David Jones was Born
November 1st 1797

Left Aberayron to Caernarvon on the
1st Day of April 1818 and set sail
from thence on the 27th Inst, and
arrived at New York on the
23d of June following

Mary Jones was Born
January 16th 1820

John D Jones was Born
September 12th 1823

# HYFFORDDIADAU

I

YMDDYGIAD DEFOSIYNOL A GWEDDUS



YNG

NGHYHOEDD WASANAETH DUW;

YN FWY ENWEDIGOL YN YR ARFERIAD O'R

# WEDDI GYFFREDIN

A APPWYNTIWYD GAN

# EGLWYS LOEGR.

---

*Gwylia ar dy droed, pan fyddech yn myned i Dy* DDUW; *a bydd barottach i wrando, nag i roi aberth ffyliaid: canys ni wyddant hwy eu bod yn gwneuthur drwg.* PREG. V. 1.

*Mi a weddiaf a'r yspryd, ac a weddiaf a'r deall hefyd.* 1 COR. XIV. 15.

---

ARGRAPHIAD CYFARGRAPH.

RHYDYCHEN:

*Argraphedig yn Argraphdy Clarendon,*

GAN BENSLEY, COOKE, A COLLINGWOOD,

ARGRAPHWYR I'R BRIF-YSGOL;

Ac a werthir gan E. GARDNER, yn Ystôr-dŷ Biblau Rhydychen, Pater noster Row, Llundain.

1813.

# HYFFORDDIADAU

I

## *YMDDYGIAD DEFOSIYNOL A GWEDDUS*

YNG

# NGHYHOEDD WASANAETH DUW.

PETH blin yw ystyried, pa gynnifer o Gristianogion y sydd (os yw y fath ag ydynt hwy yn haeddu eu galw wrth enw Cristianogion) y rhai ni ddeuant fyth, neu yn anfynych iawn, i'r Eglwys, i dalu y Ddyled a'r Gwasanaeth cyhoedd hwnnw i Dduw, yr hwn a eilw ein Crefydd am dano, ac y mae Cyfreithiau ein Gwlad yn orchymyn. Ac hefyd o'r rhai a ddeuant, ni a gawn ormod yn ymddŵyn eu hunain yn y fath fodd dïofal, naill ai megis pe nid Gwasanaeth Duw fyddai eu Gorchwyl yno, neu na thalai ofalu am dano. Rhai a *eisteddant* dros holl amser y Gweddïau; neu a osodant eu hunain yn y cyfryw Ddull dïog ac ammharchus arall, fel y dangosant yn ddigonol, nad oes ganddynt ddim Ymdeimlad o'r hyn a ddylent fod yn wneuthur, nac unrhyw Arswyd neu Barch i'r Bod Gogoneddus y maent yn dyfod i'w gyfarch: eraill a osodant eu hunain i *gysgu*, neu a ofer-dreuliant eu hamser yn meddwl am eu Negesau bydol; eraill a dremiant ac a lygad-rythant o bob tu ar y Gynnulleidfa, neu a fyddant yn siarad ac yn sisial â'u Cymmydogion: ac fe ellir dal sulw ar hyn yn anad un pryd tra byddo'r *Llithcedd* yn eu darllain; megis pe ni bai'r Ysgrythyrau Sanctaidd, er eu rhoi trwy *Ysprydoliaeth* DDUW, ddim bob amser i gael *eu gwrando, eu chwilio, eu dysgu, a'u mwynhâu oddi fewn*; modd y bo iddynt felly atteb y Dibenion ar fedr pa rai yr ysgrifenwyd hwynt, a bod *yn fuddiol i athrawiaethu, i argyoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn Cyfiawnder*, 2 Tim. iii. 16. neu, ar air, *yn dda i adeiladu yn fuddiol.* Gallwn, mewn perthynas i'r fath Addolwŷr oerllyd ac esgeulus, gymhwyso at yr Eglwys yr hyn a ddywedodd *Jacob* am *Bethel*; *Diau fod yr* ARGLWYDD *yn y lle hwn, ac ni's gwyddant hwy.* Nid ydynt yn ystyried, eu bod ym Mhresennoldeb digyfrwng Duw; a'u bod, wrth y cyfryw Ymddygiad, yn ei ammherchi ef i'w Wyneb, tra y dylent fod yn gwrando ei Air yn ddefosiynol, neu yn gweddïo arno ef.

Y mae eraill, y rhai yn ddïau a ddangosant ryw dueddiad i ddal ar y Gweddïau, a phob rhan arall o'r Gwasanaeth; eithr hwy a wnant hynny gyd â chymmaint o Anwybodaeth, Ammhwyll, neu Annhrefn, a'r y sydd yn dangos yn amlwg, nad ydynt yn iawn ddeall y gwahaniaeth rhwng y naill ran o'r Gwasanaeth a'r llall; neu yn ystyried, fod peth yn *Weddïau*, peth yn *Foliant* a *Diolchiadau*, peth yn *Broffesiadau* cyhoedd o'r Ffydd Gristianogol, a pheth yn ddim mwy nag *Hyfforddiadau, Gorchymynion*, neu *Gynghorion*, i'r Bobl. Ni a'u cawn hwynt yn fynych yn adrodd ar ol y Gweinidog, yr hyn a ddylai efe lefaru ar ei ben ei hunan, ac a ddylent hwythau yn unig wrando arno. Y maent hefyd yn chwannog, pan y bônt yn cyd dynnu ag ef yn y Gweddïau, i'w dywedyd ar ei ol mor uchel, fel na ddichon lai na bod yn flin, ac yn aflonyddu y sawl a fo yn agos attynt. Yn awr, fel y bo i Ddynion o'r fath Dueddiad da gael eu dysgu pa fodd i drefnu eu Defosïynau yn well, ac i addoli Duw, nid yn unig â'r *Yspryd*, ond â'r *Deall* hefyd; fe orchymynir y Cyfarwyddiadau canlynol yn ddifrifol i'w Hystyriaeth a'u Harferiad.

*Yn gyntaf* gan hynny, Bydded i chwi ddal yn gydwybodus ar y *Cyngor* hwn o eiddo *Salomon* (i'r hwn y rhoddes Duw *galon ddoeth a deallus*) *Gwylia ar dy droed, pan fyddech yn myned i Dŷ* DDUW: ac felly edrychwch at bob cam a gymmeroch yn eich dynesâd atto, modd y deloch i'w Wydd mwy *digyfrwng* â'r cyfryw Ystyriaethau, Myfyrdodau, ac Ymsyniadau ar eich Meddwl, ag a ddyrchafant eich Enaid i fynu atto ef, gan iawn ac arswydus Deimlad o'i Fawrhydi a'i Berffeithrwydd Dwywol; ac â'r *Yspryd gostyngedig a drylliedig* hwnnw, yr hwn a ddylai fod gan Greaduriaid egwan, a Phechaduriaid truenus. Cofiwch, mai gan fod Duw yn *Yspryd*, rhaid i'ch Addoliad o hono ef fod yn ysprydol ac yn rhesymmol, yn ddiragrith ac yn bur: rhaid iddo ddylifo oddi wrth Agwedd o Feddwl a fo yn dduwiol ac yn nefol. Ond etto, gan fod yr *holl Ddyn* yn cyd-sefyll o *Gorph* ac *Enaid* ynghŷd, y mae'n rhaid i chwi ei *ogoneddu* ef ym *mhob un o'r ddau* (1 Cor. vi. 20.) a, chan ystyried eu Hundeb naturiol a'u Cyd-deimlad, y mae'n rhaid i chwi gymmeryd y fath Ofal am bob Ymddygiad ac Agwedd eich Corph, fel y bônt yn gyfryw ag a fynegant oreu eich Gostyngeiddrwydd, Parch, a Difrifwch, ac a gadwant i fynu Feddyliau a Serchiadau cyfaddas yn eich Eneidiau. Yn enwedigol, chwi a feddyliwch oddi yma, yr wyf yn credu, mai *Penlinio* yw'r *Agwedd-corph* mwyaf cymmwys; gan ei fod yr un y mae Natur megis yn ei gyfarwyddo, mewn Addoliadau arbennig a Chyffesiadau gostyngedig, heblaw y Galwad pendant amlwg hwn am dano oddi wrth y Psalmydd ysprydoledig (Psalm xcv. 6.) *Deuwch, addolwn, ac ymgrymmwn: gostyngwn ar ein gliniau ger bron yr* ARGLWYDD *ein Gwneuthurwr.* Ond,

*Yn ail*, Os byddwch gwedi ymbarottôi fel hyn i *addoli* Duw mewn *Yspryd* ac mewn *Gwirionedd*; yna chwi a fyddwch yn sicr o fyned mor gynnar i'w Dŷ, fel y byddoch yno hyd yn oed ar Ddechreu y Gwasanaeth: gan fod yr unrhyw Rwymedigaeth yn gorwedd arnoch i ddyfal-ddisgwyl wrth bob Rhan o'i Addoliad cyhoedd, ag y sydd i ddyfod i'r Eglwys oll. Canys, os esgeuluswch ei Ddechreuad, chwi a gollwch yr Odfa o gyfaddef eich Pechodau, a'r Cysur o glywed eich Pardwn yn cael ei ddatgan a'i fynegi i chwi ar hynny. Heblaw hynny, wrth ddyfod yn hwyr, chwi a anostegwch y Gynnulleidfa, i wneuthur fford i chwi. Gwyliwch hefyd, na ymadawoch â'r Eglwys, heb fawr Angenrheidrwydd, nes ar ol rhoddi o'r Gweinidog y *Fendith*, sydd yn Ddi-

weddïo ar yr holl Wasanaeth: o herwydd, os ewch allan yn gynt, chwi fyddwch megis yn dïystyru 'r *Fendith*; ac os gwnewch felly, ni's gellwch ddisgwyl y bydd i *Ras* a *Thangnefedd* Duw fyned gyd â chwi. Ond,

*Yn drydydd*, Gwedi cael o honoch, cyn gynted ag y galloch, Gyfle cymmwys ar ol eich myned i mewn i'r Eglwys, *syrthiwch i lawr* ar eich Gliniau mewn Gweddi *ddirgel* at Duw, am Gymmorth ei Yspryd yn y Dyledswyddau arbennig hynny o Grefydd yr ydych chwi yn dyfod i gyflawni. Chwi a ymddygwch eich hunain megis yn ei Olwg ef; chwi a edrychwch arno ef megis yn dal sulw ar yr hyn a *feddylioch*, yn gystal a'r hyn a *ddywettoch* ac a *wneloch*: a gwyliwch yr holl ennyd y byddoch yn yr Eglwys, ar fod Tueddiadau eich *Enaid oddi fewn*, ac Ymddygiad eich *Corph oddi allan*, yn gyfryw ag a weddai nid yn unig i Sancteiddrwydd ac Addoliad ei Dŷ, ond ei Bresennoldeb mwy digyfrwng ef.

Wrth *Weddïo*, chwi a osodwch eich Meddyliau yn hollol ar Duw, yr hwn yn unig sydd *yn gwrando Gweddi*; chwi a ryddhêwch eich Meddwl oddi wrth bob Gofalon bydol; chwi a gedwch eich Golygon rhag gwibio o amgylch, a'ch Gwefusau rhag aflonyddu eraill yn eu Defosiynau.

Wrth *Dalu Diolch*, argrephwch ar eich Calon iawn a bywiol Ymdeimlad o holl Ddaioni Duw a'i Drugareddau i chwi eich hunain, ac i bob dŷn; gan y bydd i chwi yna ymglywed pa mor *hyfryd a gweddus yw Mawl.* Psalm cxlvii. 1.

Wrth *Wrando Gair DUW* (pa un ai yn cael ei ddarllain, neu ei bregethu) bydded i chwi nid yn unig roi clust iddo, ond mwynhêwch ef oddi fewn; gan gymhwyso at eich Cydwybod eich hunain ei Rybuddion, Ceryddon, neu Gynghorion *cyffredinol*; a chan drysori i fynu yn eich cof ei Orchymynion a'i Esamplau, ei Addewidion a'i Fygythion, er gwastadol a iawn *Drefnid* eich *Ymarweddiad.*

Wrth *Ganu Psalmau*, bydded i'ch *Deall* a'ch *Yspryd* gyfarwyddo a llywio *Puroriaeth* eich *Llais*; modd y llanwer eich Calon yn ddim llai â Gras, nâ'ch Tafod â Llawenydd. Ac,

*Yn ddiweddaf*, Wrth *dderbyn Sacrament Swpper yr ARGLWYDD*, cofiwch yn wastad ddirfawr Gariad ein Harglwydd a'n hunig Iachawdwr, yn marw drosom, a'r aneirif Ddoniau daionus, y rhai, trwy dywallt ei werthfawr Waed, a ynnillodd efe i ni. Canys yna fe fydd i chwi bob amser nesâu i'w dderbyn trwy Ffydd, gyd â Chalon edifeiriol ac ufudd, mewn Serch a Chariad â holl Ddynol-ryw, ac â Llawnfryd sefydlog i ymwrthod â'r Pechodau hynny, y rhai a'i dygasant ef hyd yn oed i Angau ar y Groes; yr hyn yr un ffunud a'ch rhwyma chwi i'w wasanaethu ef mewn gwir Sancteiddrwydd a Chyfiawnder holl ddyddiau eich bywyd.

Eithr, heblaw y Cyfarwyddiadau *cyffredinol* hyn am *Gyhoedd Wasanaeth* Duw, y mae eraill, y rhai a berthynant *yn neillduol* at Arferiad defosiynol ac addas o'r Llyfr *Gweddi Gyffredin*, a appwyntiwyd gan *Eglwys Loegr*; a'r rhai a ofynant i chwi ystyried yn ddigyfrwng Natur a Threfn pob Rhan yn y Gwasanaeth hwnnw.

***Y Sentensiau.***

Weithian, y peth cyntaf a wneir gan y Gweinidog yw, darllain rhai *Sentensiau* o'r Ysgrythyr Lân. Gwrandewch yn ddïesgeulus ar y rhai'n; ac ystyriwch hwynt megis gwedi eu llefaru trwy *Ysprydoliaeth* neu *Orchymyn* Duw ei hunan ar y cyntaf, ac yr awrhon yn cael eu hadrodd gan ei *Weinidog*, er mwyn eich dodi chwi mewn cof o ryw beth a fynnai efe i chwi gredu, neu wneuthur. O herwydd y maent oll yn gyfryw Synhwyrau, ag y sydd nid yn unig yn dwyn ein Pechodau yn ei erbyn ef i'n cof; ond hefyd ei Addewidion o Bardwn a Maddeuant, os edifarhawn: modd y bo i ni felly ei addoli ef gyd â'r Parch a'r Ofn duwiol hwnnw, a weddai i'r sawl a fyddent yn deimladwy o'u Cyflwr pechadurus eu hunain, a'u Hannheilyngdod i nesâu at ei Ddwyfol Fawredd; a hefyd gyd â'r fath Ffydd a Hyder gostyngedig, ag a weddai i'r neb a gredant, mai ar ein Hedifeirwch y bydd iddo ef faddeu i ni, a'n derbyn yn gymmeradwy, yn ol ei Addewidion.

*Y Cyngor.*

Yna y canlyn *Cyngor* arbennig. Yr awrhon, tra bo hwn yn cael ei ddarllain (yr hyn yw rhan y Gweinidog yn unig, ac nid i gael ei adrodd ar ei ol gan y Gynnulleidfa) cymmerwch sulw enwedigol ar bob Gair ac Ymadrodd ynddo, megis gwedi ei drefnu o bwrpas i'ch parottôi chwi ar fedr Addoliad Duw, trwy berchennogi eich Meddyliau â dyledus Ymsyniad o'i Bresennoldeb yspysol ef, ac o Ddibenion mawrion eich dyfodiad ger ei fron ef ar y Pryd hwn: yr hyn yn ddïammeu a esyd eich Meddyliau mewn Tymmer gymmwys ar fedr y Rhan honno o'r Gwasanaeth a ganlyn nesaf; fy meddwl yw, *Cyffes* ostyngedig o'ch Pechodau.

*Y Gyffes.*

Ond yma, tra 'r ydych yn *cyffesu* i Duw â'ch Genau, ac yn dywedyd pob Ymadrodd yn y *Gyffes* ar ol y Gweinidog, byddwch sicr i wneuthur yr un peth yn eich Calonnau; gan alw i gof gynniter ag a alloch o'r Pechodau neillduol hynny, y rhai a fuoch yn euog o honynt; naill ai trwy *wneuthur yr hyn ni ddylesych ei wneuthur*, neu *adael heb wneuthur yr hyn a ddylesych*: modd y bo i chwi fod o eigion eich calon yn drist am danynt, a bwriadu yn ddïysgog yn eu herbyn hwynt am yr amser i ddyfod; gan ymbil yn daer am ei Drugaredd yn eu Maddeu hwynt, a'i Ras, modd y galloch o hynny allan ymwrthod â hwynt yn llwyrgwbl, a dwyn allan Ffrwythau Edifeirwch diffuant.

*Y Gollyngdod.*

Gwedi diweddu y *Gyffes*, a chwithau yn aros ar eich Gliniau, fe saif y Gweinidog i fynu, ac yn Enw Duw a ddatgan ac a fynega Bardwn a Maddeuant i'r rhai oll y sy wir edifeiriol, ac yn ddiffuant yn credu i'w sanctaidd Efengyl ef.—Eithr, tra yr ydys fel hyn yn mynegi 'r *Gollyngdod*, y mae arnoch ei wrando mewn cwbl Ddistawrwydd, heb na'i *ddarllain* na'i *adrodd* ynghŷd â'r Gweinidog, megis y gwna llawer o bobl anwybodus anystyriol: o herwydd Dyledswydd y Gweinidog yn unig yw, gwneuthur y Datganiad hwn, trwy Awdurdod oddi wrth Duw; ac yn ei Enw ef, megis ei Gennad ef. Pa fodd bynnag, dylai bob dŷn a fo yno yn bresennol, ei gymhwyso yn ostyngedig ac yn ddïolchgar atto ei hunan yn neillduol, cyn belled a bod gwedi ei gyflawn-berswadio yn ei feddwl ei hun, mai os dywaid ei Gydwybod wrtho, ei fod, yn ol Cred ddiffuant a disigl yng Nghrist, yn edifarhâu yn wir ddifrifol o'i galon; efe a ryddhêir ac a ollyngir oddi wrth yr holl Bechodau a wnaethai o'r blaen, mor ddilys a phe buasai Duw yn mynegi hynny â'i Enau ei hunan; gan wneuthur o'i Weinidog hynny yn ei Enw, a thrwy ei Allu ef.

*Gweddi 'r Arglwydd.*

Yr hyn a ganlyn yw, *Gweddi 'r Arglwydd*; ym mha un y mae 'r holl Gynnulleidfa yn cyd-uno. Canys, gan edrych arnom ein hunain megis gwedi ein gollwng fel hyn oddi wrth ein Pechodau, trwy Ffydd a weithia wir Edifeirwch; nyni a allwn, megis rhai a gymmodwyd â Duw trwy ei Fab, gael y fath *Hyder*, a *Dyfodfa* at *Orseddfaingc y Dwyfol Ras, fel y bo i ni, trwy Yspryd Mabwysiad, lefain, Abba, Dad*, (Rhuf. viii. 15.) yn yr unrhyw Ffurf ag a ddysgodd efe ni i weddïo; gan ddywedyd, *Ein Tad, yr hwn wyt yn y Nefoedd*, &c.

*Parottoad i foliannu DUW.*

Gwedi gwneuthur hyn, yr ŷm i ddyrchafu ein Calonnau i Duw yn yr Arch hon a wnair gan ei *Weinidog* am ei *Ras*; *Arglwydd, agor ein Gwefusau*: i'r hyn yr Atteb yw, yr hyn a ddylai fod, oddi wrth y *Bobl*; *A'n Genau a fynega dy Foliant.* Fel hyn y dywaid y Gweinidog drachefn; *Duw, brysia i'n cynnorthwyo*: y Bobl a atteban *Arglwydd, prysura i'n cyn-*

morth. Yna, gan sefyll i fynu yn ddïoed, ni a osodwn ein hunain mewn Agwedd-corph cymmwys i *roddi Moliant i'r Un, bywiol, a gwir DDUW; Brenhin y Brenhinoedd, ac ARGLWYDD yr Arglwyddi.* I ba berwyl fe ddywaid y Gweinidog yn gyntaf, *Gogoniant i'r Tad,* &c. y Bobl, i ddangos eu Cyd-syniad, a attebant, *Megis yr oedd yn y dechreu,* &c. Y Gweinidog a eilw drachefn ar y Bobl, *Molwch yr Arglwydd;* a'r Bobl yn atteb, *Moliannus fyddo Enw'r Arglwydd.*

*Y Psalmau a'r Emynau.*

Nyni a awn yn ein blaen yn ganlynol i'w foli ef; gan ddywedyd neu ganu y bymthegfed *Psalm* ar ol y bedair ugeinfed, ac ar ol hynny y Psalmau a appwyntiwyd i'r Dydd. Ar ol pob un o ba rai (i dystiolaethu mai 'r unrhyw Fod Dwywol ydyw, Tri Pherson, ac Un Duw, i Anrhydedd pa Un y cyfansoddwyd y Psalmau hyn, ac yr arferwyd hwynt yn yr Eglwys *Iuddewig;* a'r Hwn a glodforir ac a addolir fyth trwyddynt yn yr Eglwys Gristianogol) ni a adroddwn yr Emyn ddigymmar honno, *Gogoniant i'r Tad,* &c. Yn awr tra byddoch, ynghŷd â'r Gweinidog, yn traethu y Psalmau hyn, a hon, neu Emynau eraill a arferir mewn mannau gwahanredol o'r Gwasanaeth, i Anrhydedd a Gogoniant Duw; deliwch sulw ar Ran y Gweinidog, yn gystal a'ch Rhan eich hunain; a dyrchefwch eich Calonnau ynghŷd â'ch Lleisiau, gan gydnabod, mawrygu, a moliannu, anfeidrol Ddoethineb, a Gallu, a Daioni, a Gogoniant, y Goruchaf Dduw, yn ei holl Weithredoedd, y Rhyfeddodau a wnaeth efe, ac y mae yn wneuthur fyth, dros Blant Dynion, a throsoch eich hunain ym mhlith y lleill. Ac, wrth wneuthur hyn, yr ydych yn *sefyll i fynu;* nid yn unig i arwyddocâu, ond i hyfforddi, Dyrchafiad eich Meddwl ar yr un pryd. Canys, megis, ar y naill law, os bydd ein Heneidiau gwedi ymddyrchafu yn wir ddiau i fyfyrio ar Dduw, a'i foliannu, fe gyfyd ein Cyrph yn naturiol i'r Gosgedd union hwnnw, sydd naturiol a mwyaf gweddus i Ddyn; felly, ar y llaw arall, y mae cyfodi ein Cyrph i fynu, yn cynnorthwyo tu ag at ddyrchafu ein Heneidiau hefyd; trwy ddwyn ar gof i ni y Gwaith uchel a nefol hwnnw yr ŷm ni yn ei gylch; ym mha un yr ydym, yn ol ein galluoedd egwan ni, yn cyd-dynnu â Seintiau ac Angylion oddi uchod i foliannu Duw yr awrhon, fel yr ŷm yn gobeithio gwneuthur hynny ar ol hyn yn eu Cymdeithas wŷnfydedig hwynt byth bythoedd.

*Darllain yr Ysgrythyrau.*

Tra y bo *Gair Duw* yn cael ei ddarllain, yn un o'r Pennodau, pa un ai o'r Hen Destament neu'r Newydd, derbyniwch ef *nid fel gair dynion, eithr (fel y mae yn wir) yn Air DUW; yr hwn sydd yn nerthol-weithio ynoch chwi y rhai sydd yn credu,* 1 Thess. ii. 13. Ac, am hynny, gwrandêwch arno â'r un Dyfal-wrandawiad, Parch, a Ffydd, ag a wnaethech, pe buasech yn sefyll wrth Fynydd *Sinai,* pan gyhoeddodd Duw y Gyfraith; neu wrth Ystlys ein Iachawdwr, pan y cyhoeddodd efe'r Efengyl. Ond cofiwch hefyd, fod i chwi wrando er mwyn gwneuthur ar ei ol; a *byddwch wneuthurwŷr y Gair, ac nid gwrandawŷr yn unig, gan eich twyllo eich hunain,* Iago i. 22. Deliwch sulw yn y Rhannau hynny o'r Ysgrythyr a ddarllenir i chwi, pa Bechodau y mae'r Holl-alluog Dduw yn eich rhybuddio chwi yno yn eu herbyn; pa Ddyled-swyddau y mae efe yno yn ofyn gennych gyflawni; pa Athrawiaethau y mae efe yno yn ddysgu i chwi: ac edrychwch yn ddïesgeulus fod i chwi, pan eloch adref, feddwl am danynt, a byw yn eu hol.

*Emynau ar ol y Llithoedd.*

Cyn gynted ag y darllener y *Llith Gyntaf,* ac wedyn ar ol yr *Ail,* yr ŷm yn adnewyddu ein Moliant defosiynol i Dduw mewn rhai *Emynau* a appwyntiwyd i'r perwyl hwnnw.

*Y Credo.*

Ac yna yr ydym, ag un Galon â Llef, yn adrodd *Credo'r Apostolion,* neu, *Credo* Sant *Athanasius,* ar y Dyddiau y gorchymynodd yr Eglwys ei arferu; i arwyddocâu a mynegi ein Cydsyniad a'n Cred i'r Ysgrythyrau; ond yn bendifaddeu i Efengyl Grist. Y mae llawer o bobl anwybodus yn cymmeryd y Credo megis yn lle Gweddi, ac yn ei adrodd megis pe bai felly: yr hyn sydd Gamsyniad mawr dros ben. Nid Gweddi yw; ond Cydnabod parchus a Phroffes o'n Ffydd yn unig, neu o'r hyn yr ŷm yn credu fel Cristianogion. Ac, wrth ei adrodd yma, yr ŷm, yn wyneb y Gynnulleidfa, yn proffesu ein hunain ein bod yn parhâu yn nifer Disgyblion Crist; ac mai, megis y'n bedyddiwyd ar y cyntaf, felly yr ŷm fyth yn credu yn Enw y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân, Un Duw, bendigedig yn oes oesoedd. A hyn hefyd a wnawn yn *ein sefyll;* i arwyddocâu ein Parodrwydd i ymddiffyn y Ffydd hon hyd eithaf ein gallu, yn erbyn pob Gwrthosod pa ryw bynnag. Byddwch sicr, gan hynny, eich bod yn gwir gredu pob Erthygl megis yr ydych yn ei llefaru; modd na'ch caffer yn Ffuantwŷr a Rhagrithwŷr yng Ngolwg Duw: a phan safoch i fynu i adrodd y Credo, bydded eich Arfaeth ddifrifol i barhâu yn y Broffes dda honno, a sefyll wrthi, a'i *dal yn ddisigl* (Heb. x. 23.) dan bob Erlidigaeth, os gelwir chwi ar un unrhyw amser i ddïoddef drosti.

*Gweddïau, neu Golectau.*

*Parottoad i hynny.*

Y peth nesaf a wnawn yw, hyspysu ein Heisiau, a chyflwyno ein Deisyfiadau i Dduw. Eithr, gan na ddichon na'r Gweinidog na'r Bobl fyth wneuthur hynny yn iawn, heb Ras a Chymmorth Duw ei hunan; fe weddïa'r Gweinidog yn gyntaf am ei Gynnyrchioldeb enwedigol gyd â'i Bobl; gan ddywedyd, *Yr Arglwydd a fo gyd â chwi:* a hwythau a osodant i fynu yr unrhyw Arch dros y Gweinidog; gan ei atteb, *A chyd â'th Yspryd dithau.* Ac ar hyn y maent oll yn ddïattreg yn ei addoli ef, ac yn ymbil am Drugaredd oddi wrth bob Person y fendigedig Drindod; gan ddywedyd, *Arglwydd, trugarhâ wrthym. Crist, trugarhâ wrthym. Arglwydd, trugarhâ wrthym.* A chwedi i ni drachefn weddïo Duw yn y Ffurf berffeithiaf honno yr hon a ddysgodd Crist ei hunan i ni, sef *Gweddi'r Arglwydd,* y mae'r Gweinidog a'r Bobl bob yn eilwers yn dyrchafu eu Calonnau at Dduw mewn rhai *Saeth-Weddïau* byrion a defosiynol; gan megis ymdrechu i ragori ar eu gilydd yn eiriol â'r Holl-alluog i dywallt i lawr ei Fendithion arnom.

*Saeth-Weddïau byrion, neu Eirchion.*

*Cyd-Weddïau, neu Golectau.*

Yna ni a gydymgysylltwn, mewn modd gostyngedig a pharchedig, i attolygu i'r Duwiol Fawrêdd am ei Ras a'i Ffafr, ei Nawdd a'i Ymddiffyniad, ei Drugaredd a'i Fendithion drosom ein hunain, dros y Brenhin, dros y Frenhinol Deulu, dros yr Eglwys, a thros holl Ddynol-ryw. Hyn a wnawn yn arferol yn y *Colectau* a appwyntiwyd i'r perwyl hwnnw:

*Y Litani.*

eithr ar Fore *Dydd Merchur, Dydd Gwener,* a *Dydd yr Arglwydd,* ni a wnawn hynny yn y *Litani;* ac yn y fath Litani ag y sydd yn amgyffred oll a phob peth y sydd i ni achos i'w ofyn gan yr Holl alluog Dduw, i ni ein hunain, neu i eraill.

*Parch a Defosiwn yn y Gweddïau hyn.*

Tra y bo'r Gweddïau hyn yn eu darllain, ni a ddylem aros yn ddefosiynol ar ein Gliniau; nid yn eistedd, neu mewn unrhyw Agwedd-corph ddïoglyd arall, megis y gwna gormod yn halogaidd ac yn ammharchus. Edrychwch, gan hynny, mai, megis yr ydych yn dyfod i'r Eglwys i weddïo ar Dduw, fod i chwi wneuthur hynny yn y modd arswydus, gostyngedig, a pharchus hwnnw, a weddai i Greaduriaid, pan y byddoch yn llefaru wrth eich Creawdr Mawr ac Oll-alluog. Ac, er na ddylech adrodd y Gweddïau yn uchel, i beri Aflonyddwch i eraill, etto rhaid i chwi eu hadrodd hwynt yn eich

Calonnau; a'ch Meddyliau yn cyd-dynnu â'r Gweinidog o'r naill Weddi i'r llall, ac o'r naill ran o bob Gweddi i'r llall, o hŷd, â Serchiadau cyfaddas i'r Defnydd neu'r Matter a fo'n seinio yn eich clustiau; gan ostyngedig addoli a rhyfeddu Duw, yn ol yr Enwau, y Priodoliaethau, a'r Gweithredoedd, a gyfrifir iddo ef ar ddechreu pob Gweddi; gan ddeisyf yn ddifrifol y Pethau da a ofynir ganddo ef yng nghorph y Weddi, drosoch eich hunain, neu eraill; a chan gredu yn ddisigl yn Haeddedigaethau ac Eiriolaeth Iesu Grist am gael o honoch hwynt, pan yr enwer ef, fel y mae efe ar ddiwedd pob Gweddi, oddi eithr honno o eiddo Sant *Crysostom*, o herwydd y cyfeirir honno yn ddigyfrwng at Grist ei hunan. Y mae arnoch, ar ddiwedd pob Colect hefyd, dystiolaethu eich bod yn cyd-uno yn gywir ynddo, ac yn dymuno yn ddifrifol gael rhan yn y Bendithion a weddiir am danynt, trwy barchus ddywedyd, *Amen*: yr hyn a arwyddocâ, *Poed felly y bo*; neu, *Mi a archaf o'm calon ar Dduw iddo fod felly*. Eithr yn y Litani, y cyffelyb Gyd-syniad a arwyddoceir wrth yr *Attebion*, y rhai y cyfarwyddir y Bobl i wneuthur yn eu Lleoedd priod; megis, *Gwared ni, Arglwydd, daionus*; hynny yw, oddi wrth yr holl Bechodau hynny, neu Ddrygau eraill, y grybwyllodd y Gweinidog am danynt yn y man o'r blaen. *Nyni a attolygwn i ti ein gwrando, Arglwydd trugarog*; hynny yw, i ganiattâu y Bendithion hynny, y rhai a orchymynodd y Gweinidog yr awrhon i'n Dymuniadau. Wrth hyn yr ydym yn bendant, ac yn fwy ehelaeth, yn gwneuthur yr amryw Eirchion a adroddwyd o'r blaen gan y Gweinidog, i fod ein Heirchion a'n Deisyfiadau ein hunain at Duw

*Amen.*

*Attebion yn y Litani.*

Ac, wedi gweddïo o honom fel hyn, yn y Colectau, neu'r Litani, am bob peth angenrheidiol i ni ein hunain, ac eraill; nid yw ond cymmwys i ni ei foliannu ef am y Trugareddau a dderbyniasom eisoes; a rhoddi Dïolch, nid yn unig ar ein rhan ein hunain, ond, yn ol Cyfarwyddyd yr Apostol, dros *holl Ddynolryw*: yr hyn a wnawn, tu a diwedd y Gwasanaeth, yn y *Dïolch cyffredinol*. Yma, od oes gennym unrhyw Drugaredd enwedigol neu neillduol i fendithio Duw am dani, ar ein cyfrif ein hunain, moeswch i ni ei chofio yn ddïolchgar, ac yn ddirgel yn ein Calonnau dalu ein Moliant am dani, pan y delom i'r man hwnnw, *Dy holl Ddoniau a'th Drugareddau i ni, ac i bob dŷn*. Eithr bydded i ni gynhyrfu ein hunain i'r Gwresowgrwydd eithaf sydd bosibl, pan y bom yn ei foliannu ef am ei *anfeidrol Gariad ym Mhrynedigaeth y Byd trwy ein Harglwydd Iesu Grist; am Foddion Gras, ac am Obaith Gogoniant*. Canys, megis mai y rhai'n yw y Bendithion mwyaf a allai efe roddi i ni, y mae y Cydnabod dïolchgar o honynt yn un o Ddibenion pennaf ein Dyfodiad ynghŷd fel hyn yn Gymmanfeydd Cristianogol. A bydded i ni nid yn unig weddïo yn galonnog, ond hwrîadu ac ymegnïo yn ddifrifol i ddangos ein Hymsyniad o'r rhai'n, megis o holl Drugareddau eraill Duw, trwy ein sanctaidd ac ufudd Fucheddau.

*Y Dïolch cyffredinol.*

Ar ol y Dïolch cyffredinol hwn, y mae gennym Weddi Sant *Crysostom*: ac yna y mae'r Gweinidog ei hunan yn diweddu â, *Gras ein Harglwydd Iesu Grist*, &c. Ac fe gynhwysir yn y Weddi hon y cwbl a fuom yn ei ddeisyf, neu a allwn ddeisyfu, i'n gwneuthur ni yn gyflawn happus yr awrhon a thros byth. Ac â hyn y diwedda ein Gwasanaeth beunyddiol cyffredin.

*Y Weddi sydd yn diweddu.*

Eithr ar *Suliau* a *Gwyliau*, ni a awn yn ein blaen i *Wasanaeth y Cymmun*; i'r Rhan honno o leiaf a orchymyn ein Heglwys ei harferu ar y fath Ddyddiau, er na bo un Cymmun yn cael ei hinistrio. Weithian yn y Gweddïau yma, dylai yr unrhyw Dymmer a Defosiwn ein llywio ni, ag yn y rhai a osodwyd i fynu o'r blaen; yr unrhyw Barch a Chraff-wrandawiad pan y darllener yr *Epistolau* a'r *Efengylon*, a phan y bo'r Ysgrythyrau eraill (y *Gyntaf* a'r *Ail* Lith) yn eu darllain; yr unrhyw Ffydd, ac Awyddfryd sanctaidd, a Chalondid, pan y dyweder *Credo Nicea*, a phan y dyweder *Credo'r Apostolion*, neu *Gredo Athanasius*. Ond yr hyn sydd fwyaf enwedigol yn y Gwasanaeth hwn yw, bod y Gweinidog yn darllain y *Deg Gorchymyn* yn barchus; ac, i amlygu mwy o Awdurdod, megis yn eu datgan hwynt yn Enw Duw, efe a wna hyn *yn ei sefyll*. Y Gynnulleidfa yn y cyfamser a arhosant ar eu *Gliniau*: nid am mai Gweddi yw'r Gorchymynion (fel y tybia rhai pobl weinion; ac nid ŷnt chwaith i'w hadrodd ar ol y Gweinidog, fel y gwna llawer yn anwybodus) ond o herwydd mai â Pharch enwedigol y dylem wrando y Cyhoeddiad arswydus hwn a Chrynodeb cyfan o Ewyllys Duw, a'n Dyledswydd ninnau, yngeiriau pendant Duw ei hunan: ac o herwydd darfod i'n Heglwys ni, ar ddiwedd pob Gorchymyn, ein cyfarwyddo ni yn dduwiol i ymbil am Drugaredd Duw; gan faddeu yr hyn a fuom euog o hono yn erbyn Rheol y Gorchymyn hwnnw, a'i Ras i'w gadw yn well yr amser i ddyfod, yn y geiriau hyn; *Arglwydd, trugarhâ wrthym, a gostwng ein calonnau i gadw'r Gyfraith hon*: yr hon, a hi yn Weddi, ddylai gael ei hoffrwm yn ostyngedig ar ein Gliniau. Byddwch yn ddifrifol iawn, gan hynny, pan y darllener y Gorchymynion; a meddyliwch, fel y bo'r Gweinidog yn myned yn ei flaen ym mhob un o honynt, pa un a wnaethoch ddim yn erbyn Duw, ar Feddwl, Gair, neu Weithred, mewn rhyw beth gwrthwyneb i'r Gorchymyn hwnnw *(canys mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro*; megis y dywaid yr Apostol, *Iago* iii. 2.) Ac yn ganlynol, pan y byddoch yn cyd-uno â'r lleill o'r Gynnulleidfa yn y Weddi fer honno a ganlyn bob Gorchymyn, deisyfwch Faddeuant Duw mewn dwfn a gwir Edifeirwch: a, pha un a fo eich Cydwybod yn eich cyhuddo, neu beidio, byddwch yn ddwys a difrifol iawn pan y deisyfoch ar Duw *ostwng eich calon i gadw*'r Pwngc hwnnw o'i Gyfraith, a *'sgrifenu'r* cyfan arni yn fwy effeithiol.

*Y Gorchymynion.*

Y Rhan hon o'r Gwasanaeth a ddiwedda â *Bendith* (i'w datgan gan y Gweinidog yn unig, ac nid i'w hadrodd ar ei ol ef) yr hon sydd yn y geiriau hyn; *Tangnefedd Duw, yr hwn sydd uwch law pob deall, a gadwo eich calonnau a'ch meddyliau yngwybodaeth a chariad Duw, a'i Fab Iesu Grist ein Harglwydd: a bendith Duw Holl-alluog, y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân, a fyddo i'ch plith, ac a drigo gyd â chwi yn wastad*. Amen.

*Y Fendith ar ddiwedd Gwasanaeth y Cymmun.*

Ar ol y Fendith, byddai gymmwys aros fyth dros ryw ennyd ar eich Gliniau; gan attolygu yn ostyngedig i'r Holl-alluog Duw, faddeu yr hyn a wnaeth efe ar fai ynoch er pan ddaethoch i'w Wydd; ac yn raslawn i wrando y Gweddïau, a derbyn yn gymmeradwy y Moliant, a fuoch chwi yr awrhon yn offrwm i fynu iddo ef, trwy Haeddedigaethau Iesu Grist ein hunig Gyfryngwr a'n Dadleuwr.

---

## GWEDDI *ar ein Mynediad cyntaf i'r* Eglwys.

ARGLWYDD, yr wyf fi yr awrhon yn dy Dŷ, Cymmorth, attolygaf i Ti, a derbyn fy Ngwasanaethau yn gymmeradwy. Gwna fi, a phawb a gyfarfyddont y dydd heddyw yn dy Enw, yn abl i'th addoli Di mewn Yspryd a Gwirionedd. Boed i'th Yspryd Sanctaidd gynnorthwyo ein Gwendidau, a thueddu ein Calonnau i Edifeirwch, Craff-ymwrandawiad, a Defosiwn; a chaniattâ, allu o ho-

nom ddefnyddio 'r Odfa hon i anrhydedd dy Enw sanctaidd, a Llesâd ein Heneidiau, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

GWEDDI *yn yr* Eglwys *ar ol diweddu y Gwasanaeth.*

BENDIGEDIG fo dy Enw, O ARGLWYDD, am yr Odfa hon i ddisgwyl wrthyt Ti yn dy Dŷ a'th Wasanaeth. Caniattâ allu o honof fi, a phawb a broffesant dy Enw, fod yn Wneuthurwŷr dy Air, ac nid Gwrandawŷr yn unig. Maddeu ein crwydr Feddyliau a'm Hammherffeithrwydd; a derbyn ni a'n Gwasanaethau yn gymmeradwy, trwy ein hunig Gyfryngwr Iesu Grist. *Amen.*

---

Er mwyn cymmorth Cristianogion duwiol yn eu Harferion crefyddol o Ddefosiwn neillduol, lle y gall Cynnorthwyon eraill fod yn eisiau; fe dybiwyd yn gymhesur ychwanegu y ddwy *Daflen* sydd yn canlyn. Y *gyntaf*, o'r COLECTAU yn y Llyfr *Gweddi Gyffredin*; modd y gallant fod yn fwyaf addas i Amgylchiadau cyffredinol neu neillduol Cristianogion: y *llall*, o Lyfr y PSALMAU; yr hwn sydd yn llawn amrywiaeth o Feddyliau duwiol, Byr-Weddïau sanctaidd, a Myfyrdodau crefyddol i Weddïau, Moliant, a Diolchiadau.

## TAFLEN, *yn ol yr Egwyddor, o'r* COLECTAU *Wythnosol yn y Llyfr* Gweddi Gyffredin, *gwedi eu gosod dan Bennau priodol.*

ADGENHEDLIAD.

*GWEDDI* am dano. Y Colect i *Ddydd Nadolig.*

ANGHREDWYR.

*Gweddi* dros *Iuddewon, Tyrciaid, Anffyddlonion,* a *Hereticiaid.* Y *trydydd* Colect i *Ddydd Gwener y Croglith.*

ANGYLION.

*Gweddi* am Warcheidwadaeth *Angylion.* Colect i Ddydd Sant *Mihangel.*

BARNEDIGAETH.

*Gweddïau* am Ymwared rhag *Barnedigaethau.* Colectau i *Septuagesima, Sexugesima,* a'r *pedwerydd Sul o'r Garawys.*

CALONDID.

*Gweddi* am *Galondid Cristianogol.* Colect i Ddydd Sant *Ioan Fedyddiwr.*

CARIAD.

*Gweddïau* am *garu* Duw a'i Gyfreithiau. Colectau i'r *pedwerydd Sul* ar ol y *Pasg,* a'r *chweched, seithfed,* a'r *pedwerydd ar ddeg,* gwedi'r *Drindod.*

Am *Gariad perffaith.* Colect *Sul Cwincwagesima.*

CREFYDD.

*Gweddi* am allu o honom fod *yn wir grefyddol.* Colect i'r *seithfed Sul* gwedi'r *Drindod.*

CRIST.

*Gweddi* am Ddilyniad *CRIST.* Colectau i'r *Sul nesaf* o flaen y *Pasg,* a'r *ail Sul* ar ol y *Pasg.*

Am y Budd oddi wrth Farwolaeth *CRIST.* Colect *Gyfarchiad Mair.*

CYBYDD-DOD.

*Gweddi* rhag *Cybydd-dod.* Colect i Ddydd Sant *Matthew.*

CYSTUDD.

*Gweddïau* am Ymwared rhag, a Chynheiliaeth dan, *Gystuddiau.* Colectau i'r *trydydd Sul* gwedi'r *Ystwyll,* *wythfed* gwedi'r *Drindod,* a'r *pummed Sul* o'r *Garawys.*

DIDDANWCH.

*Gweddi* am *Ddiddanwch* ysprydol. Colect y *Sul* ar ol *Dydd y Dyrchafael.*

DIRAGRITHRWYDD.

*Gweddi* am dano. Colect y *trydydd Sul* ar ol y *Pasg.*

DIWEIRDEB.

*Gweddi* am *Ddiweirdeb.* Colect y *Sul cyntaf* o'r *Garawys.*

DRYLLIAD-CALON.

*Gweddi* am *Galon ddrylliedig.* Colect *Dydd Merchur y Lludw.*

EGLWYS.

*Gweddïau* dros yr *Eglwys Gyffredinol.* Colectau i'r *pummed Sul* gwedi'r *Ystwyll,* y *trydydd Sul* ar ol y *Pasg,* Sant *Ioan Efangylwr,* a'r ddau Golect *cyntaf* i *Ddydd Gwener y Croglith.*

Am Undeb yr *Eglwys.* Colect i Sant *Simon* a Sant *Judas.*

Am Heddwch yr *Eglwys.* Colectau i'r *pummed, chweched,* a'r *ddeufed Sul ar hugain,* gwedi'r *Drindod.*

ESAMPLAU.

*Gweddïau* am allu o honom ganlyn *Esampl* CRIST. Colectau i'r *Sul nesaf* o flaen y *Pasg,* a'r *ail Sul* ar ol y *Pasg.*

FFYDD.

*Gweddïau* am iawn a chywir *Ffydd.* Colectau i *Sul y Drindod,* Sant *Thomas,* a Sant *Marc.*

Am *Ffydd, Gobaith,* a *Chariad.* Colect i'r *pedwerydd Sul ar ddeg* gwedi'r *Drindod.*

GELYNION.

*Gweddi* am Ymwared rhag *Gelynion.* Colect i'r *trydydd Sul* o'r *Garawys.*

GOLEUAD.

*Gweddi* am *Oleuad,* neu iawn Farn ym mhob peth. Colectau i'r *Sulgwyn,* y *Sul cyntaf* gwedi'r *Ystwyll,* a'r *nawfed* gwedi'r *Drindod.*

GOSTYNGEIDDRWYDD.

*Gweddi* am *Ostyngeiddrwydd* ac *Amynedd.* Colect i'r *Sul nesaf* o flaen y *Pasg.*

GRAS.

*Gweddïau* am *Ras* a *Chymmorth* yn ein Helynt Gristianogol. Colectau i'r *pedwerydd Sul* yn *Adfent,* yr *ail* o'r *Garawys, Dydd Pasg,* y *trydydd Sul* ar ol y *Pasg,* y *cyntaf,* y *seithfed,* a'r *trydydd ar ddeg,* gwedi'r *Drindod.*

GWEDDI.

Am Dderbyniad o'n *Gweddïau.* Colect i'r *degfed Sul* gwedi'r *Drindod.*

GWEINIDOGION.

*Gweddi* am Gyfaddasrwydd *Gweinidogion.* Colect i Ddydd Sant *Matthïas.*

Am fod o honynt yn ddiwyd. Colect i Ddydd Sant *Petr.*

Am fod eu Llafur yn llwyddiannus. Colect i'r *trydydd Sul* yn *Adfent.*

GWEITHREDOEDD DA.

*Gweddïau* am Ffrwythlondeb mewn *Gweithredoedd da.* Colectau i'r *pummed Sul* ar ol y *Pasg,* a'r *cyntaf, nawfed, unfed ar ddeg, trydydd ar ddeg, deufed ar bymtheg,* a'r *pummed ar hugain Suliau* gwedi'r *Drindod.*

MARWHAD.

*Gweddïau* am *Farwhâd.* Colectau i *Ddydd Enwaediad Crist,* a *Nos Basg.*

MEDDYLIAU.

*Gweddi* yn erbyn *Meddyliau* drwg. Colect i'r *pummed Sul* ar ol y *Pasg.*

### NEF.

*Gweddi* am Ddymuniadau *nefol.* Colect i *Ddydd Iou y Dyrchafael.*

Am ein Derbyniad i Fwyniant Duw yn y *Nef.* Colectau *Dydd Gwyl Ystwyll, y chweched Sul* gwedi 'r *Ystwyll,* a'r *Sul* ar ol *Dydd y Dyrchafael.*

### PECHOD.

*Gweddïau* am Droëdigaeth oddi wrth *Bechod.* Colectau i'r *Sul cyntaf* yn *Adfent,* y *Sul cyntaf* gwedi 'r *Pasg.* Sant *Andreas,* Sant *Iago,* a Sant *Matthew.*

Am Faddeuant *Pechod.* Colectau i'r *deuddegfed, unfed ar hugain,* a'r *pedwerydd ar hugain Suliau* gwedi 'r *Drindod.*

### PROFEDIGAETHAU.

*Gweddïau* am Ymwared oddi wrth, a Chynhaliaeth dan, *Brofedigaethau.* Colectau i'r *pedwerydd Sul* gwedi 'r *Ystwyll,* a'r *ail* yn y *Garawys.*

### PURDEB

*Gweddi* am *Burdeb* Calon. Y Colect i'r *Puredigaeth.*

### RHAGLUNIAETH.

*Gweddïau* am Nodded trwy *Rhagluniaeth* Duw. Colectau i'r *ail, trydydd, pedwerydd,* a'r *ugeinfed Suliau* gwedi 'r *Drindod.*

### SAINT.

*Gweddïau* am eu Dilyniad hwynt. Y Colectau i *Ddydd-gwyl y Gwirioniaid,* Sant *Stephan,* Sant *Philip* a Sant *Iago,* Sant *Ioan Fedyddiwr,* a *Gwyl yr Holl Saint.*

### UFUDD-DOD.

*Gweddïau* am allu o honom *ufuddhâu,* a dilyn Athrawiaeth yr Apostolion. Colectau ar Droad Sant *Paul,* a Sant *Ioan Fedyddiwr.* Edrych GWEITHREDOEDD DA.

### YSGRYTHYR.

*Gweddi* cyn darllain yr *Ysgrythyr.* Colect yr *ail Sul* yn *Adfent.*

### YSPRYD GLAN.

*Gweddïau* am Gyfarwyddyd yr *Yspryd Glân.* Colectau y *pedwerydd Sul ar bymtheg* gwedi 'r *Drindod,* a'r *pummed* ar ol y *Pasg.*

---

## *Hanes byr o Achos ac Amcan* Psalmau DAFYDD; *yr hwn a all wasanaethu, mewn Arfer neillduol o'r Llyfr dwywol hwnnw, megis Cynnorthwy i gael allan y cyfryw Psalmau, a'r a fyddont yn addas i Amgylchiadau cyffredinol neu neillduol Cristianogion.*

Y Mae y rhan fwyaf o'r Psalmau yn *Weddïau,* a gyfansoddwyd pryd yr oedd *Dafydd,* neu ryw Awdur prophwydol arall, gwedi ei osod mewn Perygl mawr neu Gystudd · ac am hynny y mae yn cyrchu at Duw, megis ei unig Gymmorth yn amser Anghenoctid; gan ymbil yn daer am ei Drugaredd, Maddeuant Pechodau, neu Ymwared o Beryglon a Chystuddiau. Llawer ydynt Psalmau o *Dalu Diolch* am Drugareddau gwedi eu derbyn; rhai a amcanwyd i osod allan *Brïodoliaethau* a *Pherffeithrwydd* Duw; tra y mae eraill yn dwyn i ni y *Gwersi o Addysg* mwyaf buddiol a moesawl a'r a all fod: yn ddiweddaf, y mae rhai o'r Psalmau *yn brophwydol,* a rhyw ychydig *yn historïawl.*

### CWEDDIAU.

I. *Gweddïau* am Faddeuant Pechod. *Psalmau* vi, xxv, xxxviii, li, cxxx.

II. *Gweddïau* a gyfansoddwyd pan oedd y Psalmydd gwedi ei ddifuddio o'r Cyfle o gael Ymarfer cyhoedd o Grefydd. *Psalmau* xlii, xliii, lxlii, lxxxiv.

III. *Gweddïau* ym mha rai y mae'r Psalmydd yn ymddangos megis mewn Gwendid Calon distawr, er nid gwedi ei ddifuddio yn gwbl o Gysur, dan ei Gystuddiau. *Psalmau* xiii, xxii, lxix, lxxvii, lxxxviii, cxliii.

IV. *Gweddïau* ym mha rai y mae'r Psalmydd yn gofyn Cymmorth gan Duw, mewn ystyriaeth o'i Wirioneb ei hunan, ac Uniondeb ei Fatter. *Psalmau* vii, xvii, xxvi, xxxv.

V. *Gweddïau* yn adrodd yr Hyder a'r Ymddiried cadarnaf yn Nuw mewn Cystuddiau. *Psalmau* iii, xvi, xxvii, xxxi, liv, lvi, lvii, lxi, lxii, lxxi, lxxxvi.

VI. *Gweddïau* a gyfansoddwyd pan oedd Pobl Duw dan Gystudd ac Erlidigaeth. *Psalmau* xliv, lx, lxxiv, lxxix, lxxx, lxxxiii, lxxxix, xciv, cii, cxxiii, cxxxvii.

VII. Y rhai canlynol ydynt hefyd yn *Weddïau* yn amser Trallod ac Adfyd. *Psalmau* iv, v, xi, xxviii, xli, lv, lix, lxiv, lxx, cix, cxx, cxl, cxli, cxlii.

VIII. *Gweddïau* o Eiriolaeth. *Psalmau* xx, lxvii, cxxii, cxxxii, cxliv.

### Psalmau *o* DALU DIOLCH.

I. *Diolchiadau* am Drugareddau a deilyngwyd i Ddynion neillduol. *Psalmau* ix, xviii, xxi, xxx, xxxiv, xl, lxxv, ciii, cviii, cxvi, cxviii, cxxxviii, cxliv.

II. *Diolchiadau* am Drugareddau a ganiattawyd i'r *Israeliaid* yn gyffredinol. *Psalmau* xlvi, xlviii, lxv, lxvi, lxviii, lxxvi, lxxxi, lxxxv, xcviii, cv, cxxiv, cxxvi, cxxix, cxxxv, cxxxvi, cxlix.

### Psalmau *o* FOLIANT *ac* ADDOLIAD, *yn gosod allan* Briodoliaethau DUW.

I. Cydnabod cyffredinol o *Ddaioni* Duw a'i *Drugaredd;* ac yn enwedigol ei Ofal, ei Nodded, a'i Ymddiffyniad, o Ddynion da. *Psalmau* xxiii, xxxiv, xxxvi, xci, c, ciii, cvii, cxvii, cxxi, cxlv, cxlvi.

II. *Psalmau* yn gosod allan *Allu, Mawredd, Gogoniant,* a Phrïodoliaethau eraill, y Bod Dwywol. *Psalmau* viii, xix, xxiv, xxix, xxxiii, xlvii, l, lxv, lxvi, lxxvi, lxxvii, xciii, xcv, xcvi, xcvii, xcix, civ, cxi, cxiii, cxiv, cxv, cxxxiv, cxxxix, cxlvii, cxlviii, cl.

### Psalmau ATHRAWIAETHOL.

I. Gwahan y Gair am Ddynion da a drwg: Happusrwydd y naill, a Thrueni 'r lleill, a osodir ger bron yn y *Psalmau* canlynol. i, v, vii, ix, x, xi, xii, xiv, xv, xvii, xxiv, xxv, xxxii, xxxiv, xxxvi, xxxvii, l, lii, liii, lviii, lxxiii, lxxv, lxxxiv, xci, xcii, xciv, cxii, cxix, cxxi, cxxv, cxxvii, cxxviii, cxxxiii.

II. Godidowgrwydd Cyfraith Duw. *Psalmau* xix, cxix.

III. Gwagedd Bywyd dynol. *Psalmau* xxxix, xlix xc.

IV. Cyngor i Swyddogion. *Psalmau* lxxxii, ci.

V. Y Rhinwedd o Ostyngeiddrwydd. *Psalm* cxxxi.

### Psalmau PROPHWYDOL.

*Psalmau* ii, xvi, xxii, xl, xlv, lxviii, lxxii, lxxxvii, cx, cxviii.

### Psalmau HISTORIAWL.

*Psalmau* lxxviii, cv, cvi.

## DIWEDD.

WHEREAS by 14 *Caroli* II, Cap. iv, Sect. 27,—" The Bishops of Hereford, St. David's, St. Asaph, Bangor, and Llandaff, and their Successors, are injoined to take such order among themselves, that the Book of Common Prayer thereunto annexed, be truly and exactly translated into the British or Welsh Tongue; and that the same so translated, and being by them, or any three of them, at the least, viewed, perused, and allowed, be imprinted: and that from and after the imprinting and publishing of the said Book so translated, the Whole of Divine Service shall be used and said by the Ministers and Curates throughout all Wales, within the said Dioceses where the Welsh Tongue is commonly used, in the British or Welsh Tongue, in such manner and form as is prescribed, according to the Book of Common Prayer thereto annexed, in the English Tongue; differing nothing in any order or form from the said English Book." And whereas, not only the Gospels and Epistles appointed to be read, but also the Table of Lessons from the Old and New Testament, appointed in the Calendar of the Book of Common Prayer, has a necessary reference to the Translation of the Old and New Testament then in use; namely, that published in the Year of our Lord, 1620, commonly called Bishop Parry's. We the Bishops, whose names are hereto subscribed, have judged it appertaining to our duty, in compliance with the said Injunction, by the assistance of certain of our Clergy, well esteemed for their knowledge and judgment in their native Tongue, to cause the Book of Common Prayer now in use in the Welsh Tongue, to be carefully compared with that translated and allowed, immediately from and after the said Injunction; and also the Text of the Old and New Testament, as it is now read with that of the Translation of the Old and New Testament into the Welsh Tongue, then in use, and allowed: that it might appear if any alteration or innovation in either had taken place, which would destroy that perfect consistency and uniformity between the Whole of the Divine Service in the Welsh and English Languages, which it was the object of the Injunction in 14 *Car.* II. to procure.

From this Collation, it appears, that some Emendations in the Orthography were made in the Edition of 1690, commonly called Bishop Lloyd's, which have been

generally approved; and that it has been important only to correct some Errors, chiefly of the Press, in later Copies of the Bible, and to restore the Orthography of proper Names after the Text, published in the Year 1620.

(Signed)

R. LLANDAFF,
W. ASAPHENS,
JOHN BANGOR,
THOMAS ST. DAVID'S,
JOHN HEREFORD.

*May* 25, 1809.

YN gymmaint ag y Gorchymmynir gan 14 *Siarles* II, 4 Pennod, 27 Dosparth, "Bod i Esgobion Henffordd, Dewi, Llanelwy, Bangor, a Llandaff, a'u Gwrthrychiaid, ddefnyddio yn eu plith eu hunain gyfieithu'r Llyfr a gyd-glymmir a'r Act hon yn gywir ac yn gyfrdo i iaith y Bruttainiaid sef y Cymru, a bod printio'r unrhyw wedi ei gyfieithu felly, ac wedi ei olygu, ei chwilio, a'i gymmeradwyo ganddynt, o leiaf gan ryw dri o honynt i iawn gyfryw rifedi; a chwedi printio a chyhoeddi'r Llyfr dywededig wedi ei gyfieithu felly, Bod i'r Gwenidogion a'r Curadiaid trwy holl Gymru, o fewn yr Esgobaethau dywededig, arfer a dywedyd cyfan wasanaeth Duw yn y Fruttaniaith neu'r Gymraeg, yn y cyfryw ddull a ffurf ag a orchymmynir yn ol y Llyfr a gyssylltir a'r Act hon i'w harferu yn Saesonaeg, heb amgenu dim mewn un ffurf neu drefn oddi wrth y Llyfr Saesonaeg dywededig." Am hynny gan fod nid yn unig yr Efangylau a'r Epistolau a osodwyd i'w darllen, ond y Llithiau o'r Hen Destament a'r Newydd yn ol Calendar y Llyfr Gweddi Gyffredin, wedi eu cymmeryd allan o Gyfieithad yr Hen Destament a'r Newydd a arferid y pryd hynny, sef yr hwn a gyhoeddwyd yn y Flwyddyn 1620, ac a elwir yn Gyffredin Argraphiad Esgob Parry. Nyni yr Esgobion, enwau y sawl a ysgrifennwyd isod, a farnasom ei fod yn perthyn i'n swydd ni yn ol y Gorchymmyn dywededig, trwy gymmorth rhai o'n Gwyr Hen, cymmeradwy o ran cywreinrwydd eu Gwybodaeth yn eu hiaith enedigol, beri cymmharu yn gywir y Llyfr Gweddi Gyffredin ac Argraphiadau diweddaff yr Hen Destament a'r Newydd gyd a'r prif-gyfieithad a wnaethpwyd ac a gymmeradwy-wyd yn fuan ar ol y Gorchymmyn dywededig hwnnw; fel y gellid gweled, a oedd ynddynt unrhyw amrywiaeth neu gyfnewidiad, yr hwn a dorrai y cyssondeb cyflawn yng Ngwasanaeth yr Eglwys a'r Unffurfiad rhwng y Gymraeg a'r Saesonaeg, yr hyn a amcanwyd trwy Act 14 *Siarles* II.

Ymddangosodd oddi wrth y Cyd-gymmhariad hwn i rai diwygiadau cymmeradwy yn yr Orgraff gail eu gwneuthur yn Argraphiad yr Esgob Llwyd yn y

Flwyddyn 1690; ac na bu achos diwygio ond ychydig feiau, a'r rhai'ny gan mwyaf ond Gwallau 'r Argraph-wasg yn Argraphiadau diweddaf y Bibl, ac adferu Orgraff y Priod-enwau, yn ol yr Argraphiad a gyhoeddwyd yn y Flwyddyn 1620.

(Signed)

R. LLANDAFF,
W. ASAPHENS,
JOHN BANGOR,
THOMAS S[T.] DAVID's,
JOHN HEREFORD.

*Mai* 25, 1809.

## COLECT

*I'w arfer o flaen darllain yr Ysgrythyr Lân.*

O Wynfydedig Arglwydd, yr hwn a beraist fod yr holl Ysgrythyr Lân yn ysgrifenedig er mwyn ein hathrawiaeth a'n haddysg ni; Caniattâ fod i mi yn y cyfryw fodd ei gwrando, ei darllain, ei chwilio, a'i dysgu, ac i'm mewn ei mwynhâu, fel trwy amynedd a diddanwch dy gyssegredig Air, y cofleidiwyf ac yr ymgynhaliwyf yn wastadol wrth fendigaid obaith y fuchedd dragywyddol, yr hon a roddaist i ni yn ein Iachawdwr Iesu Grist. *Amen.*

*Y Colect am yr ail Sul yn Adfent.*

# LLYFR
# Gweddi Gyffredin,

A GWEINIDOGAETH Y

## SACRAMENTAU,

A

CHYNHEDDFAU A SEREMONIAU ERAILL YR EGLWYS,

YN OL ARFER

## EGLWYS LOEGR:

YNGHYD A'R

PSALLWYR, NEU PSALMAU

## DAFYDD,

WEDI EU NODI MEGIS AG Y MAENT I'W CANU NEU I'W DYWEDYD MEWN EGLWYSYDD.

---

ARGRAPHIAD CYFARGRAPH.

---

RHYDYCHEN:

*Argraphedig yn Argraphdy Clarendon,*

GAN BENSLEY, COOKE, A COLLINGWOOD,

ARGRAPHWYR I'R BRIF-YSGOL;

Ac a werthir gan E. GARDNER, yn Ystôr-dŷ Biblau Rhydychen, Pater noster Row, Llundain.

1813.

---

*Cum Privilegio.*

# BANNAU'R LLYFR HWN.

*Y Rhagymadrodd.*
*Am Wasanaeth yr Eglwys.*
*Am Seremoniau.*
*Y Drefn pa wedd yr appwyntir y Psallwyr i'w ddarllain.*
*Y Drefn pa wedd yr appwyntir y Rhannau eraill o'r Ysgrythyr Lân i'w darllain.*
*Tablau o'r Llithiau a'r Psalmau Prïod.*
*Y Calendar, gyd â Thabl y Llithiau.*
*Tablau, a Threfnau y Gwyliau a'r Ympyrydiau trwy'r Flwyddyn.*
*Tabl i gael y Pasg hyd y Flwyddyn* 1899.
*Tabl arall i'r unrhyw.*
*Tabl o'r Gwyliau symmudol dros* 52 *Mlynedd.*
*Tabl o'r unrhyw, yn ol yr amryw Ddyddiau y geill y Pasg ddigwydd arnynt.*
*Tabl i gael y Pasg o'r Flwyddyn* 1900 *hyd y Flwyddyn* 2199.
*Tri Thabl Cyffredin i gael y Llythyren Sul a Lleoedd y Prifiau yn y Calendar.*
*Y Drefn am Weddi Foreol.*
*Y Drefn am Brydnhawnol Weddi.*
*Credo Sant* Athanasius.
*Y Litani.*
*Gweddïau a Diolch ar amryw Achosion.*
*Y Colectau, yr Epistolau, a'r Efengylau, a arferir wrth Finistriad y Cymmun Bendigedig, trwy'r Flwyddyn.*
*Trefn Ministriad y Cymmun Bendigaid.*
*Trefn Bedydd Cyhoedd a Neillduol.*
*Trefn Bedydd rhai mewn Oedran addfedach.*
*Y Catecism, gyd â Threfn Conffirmiad Plant.*
*Trefn Prïodas.*
*Gofwy a Chymmun y Claf.*
*Trefn Claddedigaeth y Marw.*
*Diolch Gwragedd ar ol esgor Plant.*
*Comminasiwn; neu Gyhoeddiad Llidiowgrwydd a Barnedigaethau Duw yn erbyn Pechaduriaid.*
*Y Psallwyr.*
*Trefn Gweddïau i'w harfer ar y Môr.*
*Ffurf Gweddi i'r Pummed Dydd o* Dachwedd.
*Ffurf Gweddi i'r Degfed ar hugain o* Ionawr.
*Ffurf Gweddi i'r Nawfed ar hugain o* Fai.
*Ffurf gweddi i'r Pummed dydd ar hugain o* Hydref.
*Y* XXXIX. *Erthyglau Crefydd, a'u Tabl.*
*Y Graddau gwaharddedig i brïodi.*
*Y Psalmau Cân.*
*Yr Emynau,* Te Deum, *&c.*

---

## ¶ *Y Rhagymadrodd.*

DOETHINEB Eglwys *Loegr,* er pan gyntaf y lluniwyd iddi Liturgi Cyhoedd, ydoedd, cadw cyfrwng y ddau eithaf, na byddai rŷ syth i wrthod, na rhŷ hyblyg i oddef cyfnewid arno. Canys megis o'r naill du y mae Prawf sathredig yn dangos, dyfu o amrafael anghymmwysderau, lle y cyfnewidiwyd (heb fod anghenrhaid eglur yn peri) y pethau trwy bwyll da a sefydliasid; a'r rhai hynny gan mwyaf yn amlach, a dwysach nâ'r drygau a amcanwyd eu diwygio drwy y cyfryw newidiad: felly, o'r tu arall, yn gymmaint a bod Ffurfiau gosodedig o Wasanaeth Duw, a'r Cynheddfau, a'r Seremoniau pwyntiedig i'w harfer ynddo, yn bethau rhesymol, a newidiadwy, ag a gyffesir eu bod felly; rheswm yw eu newid a'u hail weddu ar ddwys a phwysfawr ystyr, yn ol ag y bo amryw angen yr amseroedd a'r achlysurau yn gofyn, modd y gwelo Gwŷr o Awdurdod o amser bwygilydd fod yn rheidiol neu yn fuddiol. Fel hyn y gwelwn ganiattâu o'r Eglwys yn Nheyrnasiad amrafael Dywysogion o goffadwriaeth bendigedig, er pan ddechreuodd yr Adgyweiriad, ar iawn a dwys ystyriau yn ei chymmell i hynny, wneuthur y cyfryw newidiadau mewn rhyw bethau ag a farnwyd yn eu prïod amseroedd yn gymmwys: eithr fel y bu yn wastad safadwy yr holl Rannau cyfannol a hanfodol o honi yn un hyd heddyw (yn gystal yn y defnyddiau pennaf ag yn ei lluniaethiad a'i threfn) ac y safant etto yn gadarn ac yn ddïysgog, er holl anturiau ofer, a rhuthrau rhychwyllt a wnaed i'w herbyn gan rhai anwastad, a ddangosasant bob amser ychwaneg o serch i'w hewyllys a'u helw neillduol, nag o'r ddyled sydd arnynt i'r cyffredin.

Trwy ba foddion anaddas, ac i ba ddibenion trwch, y daeth bwrw heibio arfer y Liturgi (er ei bod yn orchymynedig trwy Gyfreithiau'r Deyrnas, y cyfryw na ddiddymmwyd erioed etto) dros amseroedd y diweddar helbul trwch anhappus, rhŷ hyspys yw i'r byd, ac nid oes gennym ewyllys yma i'w hadgoffâu. Eithr pan, ar ddedwydd Edfrydiad Gras y Brenhin, yr oedd tebygol, ym mhlith pethau eraill, y dychwelai hefyd ar un-waith arfer y Liturgi (canys erioed ni ddiddymmwyd hi trwy Gyfraith) oni wnaid cais cyflym i'w rhagflaenu hi; y rhai a'i gwnaethant yn fwyaf rhan o'u gorchwyl dan y gamrwysg ddiweddar i ddwyn y gwerin i ddiflasu arni hi, a ganfuant y perthynai iddynt, am y dalai eu cymmeriad da, a'u helw (oddi eithr iddynt rwydd-gydnabod eu Hamryfusedd, yr hyn beth anhawdd iawn dwyn y cyfryw wŷr i'w wneuthur) â'u llawn egni wrthladd ei dwyn hi i fewn eilwaith. A thu ag at hynny y taned ar led llïaws o Lyfrau bach yn erbyn y Llyfr *Gweddi Gyffredin;* yr adrifwyd yr hen Wrthresymmau, ac yr arddodwyd rhai o newydd ychwaneg nag a wnaethid o'r blaen, fel yr ai yn unchwydd eu nifer. Ar fyr, llawer taerymgais a wnaethpwyd at Ras a Mawredd y Brenhin, am gael adchwilio'r Llyfr dywededig, a chael newid ynddo, ac ychwanegu atto'r cyfryw bethau a dybygid yn gymmwys er esmwythdra i dyner Gydwybodau: yr hyn beth ein Harglwydd Frenhin, o'i dduwiol duedd i roddi boddlonrwydd (cyn-belled a thrwy reswm y gellid disgwyl) i'w Ddeiliaid oll, o ba hygoeledd bynnag, yn rhwyddrasol a ganiattaodd.

Yn yr hon ail Olygiad ni a ymroisom i gadw yr unrhyw ardymmer a welwn ei harferu ar y cyffelyb achos yn y cyn-amseroedd. Am hynny, o'r amrafael newidiau a ddygwyd ger ein bron, bwriasom heibio gynnifer oll yn gystal a dywysent afiwydd ar eu hol (megis yn dirgel daro ar ryw Athrawiaeth osodedig, new ryw Ddefod ganmoladwy yn Eglwys *Loegr,* neu yn hytrach holl Eglwys Gatholig Crist` a'r cyfryw na arwyddocaent ddim, eithr oeddynt lwyr-wagsaw a gorwag. Ond y cyfryw newidiadau a ddygwyd attom (gan bwy bynnag, dan ba rith, neu i ba berwyl bynnag) a welem ar ryw fesur yn llesol a buddiol, nyni o wir barodrwydd ewyllys a ymfoddlonasom ynddynt: nid o herwydd ein cymmell trwy nerth dadl i hynny, i'n hargyoeddi y gorfyddai gwneuthur y newidiadau dywededig: canys llawn ddïogel yw gennym yn ein meddyliau (ac wele ni yma yn proffesu hynny i'r byd oll) nad yw'r Llyfr, megis yr ydoedd o'r blaen wedi ei sefydlu trwy Gyfraith, yn cynnwys ynddo ddim yngwrthwyneb i Air Duw, nac i Athrawiaeth iachus, na dim na allo Gŵr duwiol â chydwybod dda ei arfer ac ymddarostwng iddo, ac na eilir ei iawn-ymddiffyn yn erbyn pwy bynnag a'i gwrthwynebo; os caniatteir iddo Gymmeriad cyfiawn a hygar, y cyfryw o wir iawnder cyffredin a'r a ddylid ei roddi i bob Ysgrifenadau Dynion, yn



A 2

enwedig y cyfryw a osodir allan trwy Awdurdod, ac yn gyfartal â'r Cyfieithiadau rhagorol o'r Ysgrythyr Lân ei hun.

Am hynny ein diben cyffredinol ni yn hyn o waith ydoedd, nid boddloni nac un blaid nac arall yn neb rhyw un o'u gofynion anrhesymmol; ond gwneuthur yr hyn, i'r eithaf o'n deallwriaeth ni, a dybiasom a fyddai fwyaf at ddiffyniad Heddwch ac Undeb yn yr Eglwys, i beri Parch, ac i annog i Dduwioldeb a Defosiwn yng nghyhoedd Wasanaeth Duw; ac i dorri ymaith achlysur oddi wrth y sawl a geisiant gwillow i wrthddadleu a chynhennu yn erbyn Liturgi'r Eglwys. Ac am a berthyn i'r amrywiadau oddi wrth y Llyfr cyntaf, pa un bynnag ai trwy Gyfnewidiad, Anghwanegiad, neu fodd arall, gwasanaethed hyn o gyfrif yn gyffredinol. Gwnaethpwyd y rhan fwyaf o'r Cyfnewidiadau, naill ai, yn gyntaf, er manylach gyfarwyddo'r Gweinidogion ar bob rhan o Wasanaeth Duw; a hyn a wnair yn bennaf yn y Calendar a'r Rubric: neu, yn ail, er adrodd yn briodolach rhyw eiriau neu ddywediadau a arferwyd gynt, trwy leferydd cysonach i dafodiaith yr amserau presennol, ac er mwyn egluro yn amlycach rhyw eiriau a dywediadau eraill a ddygent arwyddocâd amwys, neu a oeddynt hylithr i gamgymmeriad: neu, yn drydydd, er adrodd yn rhuglach, y cyfryw rannau o'r Ysgrythyr Lân, a ddoded o fewn y Liturgi, y rhai yn awr a drefnwyd i'w darllain; yn enwedig yn yr Epistolau a'r Efangylau, ac amrafael leoedd eraill, yn ol Cyfieithiad diweddaf y Bibl: a barnwyd yn gymhesur anghwanegu yn eu gweddus leoedd, rhyw Weddïau, a Ffurfiau o Ddiolwch wedi eu cymhwyso i achlysurau priodol; yn benaeddol, i'r sawl y sydd ar y Môr, gyd â Gwasanaeth am Fedydd y sawl sydd o oedran addfedach; yr hwn er na fedrai fod mor angenrheidiol pan luniwyd y Llyfr cyntaf, er hynny, o herwydd cynnyddiad Anabaptistiaeth, a ymlusgodd i'n mysg ni trwy benrhydd-der yr amseroedd diweddar, a aeth yr awrhon yn angenrheidiol, ac a all fod yn fuddiol rhag llaw i fedyddio Priodorion yn ein Planigfeydd tramor, ac eraill a droër i'r Ffydd. O bydd neb a ddeisyfo gyfrif hyspysach o bob Cyfnewidiad yn en rhan o'r Liturgi, cymmered y boen i gyd gymharu'r Llyfr hwn â'r cyntaf: nid oes amheu na eill weled yn eglur yr achos a oedd o'i Gyfnewid.

A chan i ni ymegnïo fel hyn i dalu ein dyledswydd yn hyn o Orchwyl pwysfawr, megis dan olwg Duw, ac i gymmeradwyo ein purdeb yn y peth (hyd a oedd ynom) i gydwybodau pawb oll; er bod yn hyspys i ni mai ammhosibl yw boddloni pawb (pan fo'r fath amrywiaeth o athrylith, o ffansi, ac o brïod-elw yn y byd) ac nad allwn ddisgwyl y bydd i wŷr o ysprydoedd terfysgus, gorphwyllus, a chyndyniog, ymfoddloni i ddim o'r dull yma, a ellir ei wneuthur gan neb arall ond ganddynt hwy eu hunain: er hynny i gŷd, y mae gennym obaith da am a gyflwynir yma, ac a holwyd yn ddiwyd iawn ac a ddiheurwyd gan Gymmanfeydd y ddwy Dalaith, y derbynir ef hefyd ac y cymmerir yn dda gan gynnifer oll o Feibion Eglwys *Loegr* ag sy sobr, heddychol, a gwir gydwybodus.

---

## ¶ *Am Wasanaeth yr Eglwys.*

NI bu erioed ddim wedi ei ddychymmygu mor ddiball, neu wedi ei gyfnerthu mor gadarn, trwy synwyr dŷn, yr hwn mewn yspaid amser ni's llygrwyd: megis, ym mhlith pethau eraill, y mae'n eglur ddigon wrth y Gweddïau Cyffredin yn yr Eglwys, y rhai a elwir yn sathredig, *Gwasanaeth Duw*; bonedd a dechreuad cyntaf pa rai, pe chwilid am danynt ym mysg gwaith yr hen Dadau, fe geid gweled nad ordeiniwyd y Gwasanaeth hwnnw, ond er amcan daionus, ac er mawr ddyrchafiad Duwioldeb. Canys hwynt-hwy a drefnasant y matter felly, fel y darllenid yr holl Fibl drosto (neu y rhan fwyaf o hono) unwaith yn y flwyddyn: gan amcanu wrth hynny, fod i'r Gwŷr Llên, ac yn enwedig i'r sawl a fyddent Weinidogion y Gynnulleidfa, allu (trwy fynych ddarllain a myfyrio Gair Duw) fod wedi ymddiddyfaru i Dduwioldeb, a bod hefyd yn aplach i annog eraill, trwy Ddysgeidiaeth iachus, i'r un peth, ac i allu gorthrechu dadl y rhai a wrthwynebent y Gwirionedd. Ac ym mhellach, fel y gallai'r bobl (trwy glywed beunydd ddarllain yr Ysgrythyr Lân yn yr Eglwys) gynnyddu'n wastad fwyfwy mewn gwybodaeth am Dduw, a dyfod i garu'n gynhesach ei wir Grefydd ef.

Ond, er ys talm o flynyddoedd, y darfu newidio, torri, ac esgeulaso'r dduwiol a'r weddus Drefn yma o waith yr hen Dadau, trwy blannu i mewn yn ei lle Historiau amheus, Legendau, lliaws o Attebion, Gwersi, Adwersi gweigion, Coffadwriaethau, a Seneddolion; megis yn gyffredinol pan ddechreuid un Llyfr o'r Bibl, cyn darfod darllain tair neu bedair pennod o hono, y cwbl ond hynny a adewid heb ei ddarllain. Ac yn y wedd hon y dechreuid Llyfr *Esay* yn yr *Adfent*, a Llyfr *Genesis* yn *Septuagesima*; eithr eu dechreu y wnaid yn unig, heb orphen eu darllain byth. A'r un ffunud yr arferid am Lyfrau eraill o'r Ysgrythyr Lân. A chyd â hynny, lle mynnai S. *Paul*, fod dywedyd y cyfryw Iaith wrth y bobl yn yr Eglwys, ag a allant hwy ei deall, a chaffael llesâd o'i chlywed; y Gwasanaeth yn yr Eglwys hon o *Loegr* (er ys llawer o flynyddoedd) a ddarllenwyd yn *Lladin* i'r bobl, yr hwn nis oeddynt hwy yn ei ddeall; ac felly yr oeddynt yn unig yn clywed â'u clustiau, ond eu calonnau, a'u hyspryd, a'u meddwl, oedd yn ddiadeilad oddi wrtho. Ac heb law hynny, er darfod i'r hen Dadau barthu'r Psalmau yn saith ran, a phob un o honynt a elwid *Nocturn*; yn awr, er yn hwyr o amser, ychydig o honynt a ddywedid beunydd, gan eu mynych ad-ddywedyd, a gadu'r darn arall heibio, heb yngan un gair. Gyd â hynny, nifeiri a chaledrwydd y Rheolau y rhai a elwid y *Pic*, ac amrafael gyfnewidiau Gwasanaeth, oedd yr achos, fod mor galed ac mor rhwystrus droi at gyfnodau'r Llyfr yn unig; megis yn fynych o amser y byddai mwy o drallod yn chwilio am y peth a ddarllenid, nag yn ei ddarllain wedi ei gael.

Felly wrth ystyried yr anghymmesurwydd hwnnw, fe a osodir yma y cyfryw Drefn, fel y diwygir yr unrhyw bethau. Ac, er mwyn parodrwydd yn y matter yma, y tynnwyd Calendar i'r unrhyw bwrpas, yr hwn sydd eglur a hawdd ei ddeall; yn mha un (hyd y gellid) y gosodwyd allan wedd i ddarllain yr Ysgrythyr Lân, fel y gwneler pob peth mewn Trefn, heb wahanu un ddarn o honi oddi wrth ei gilydd. Ac, oblegid hyn, y torrwyd ymaith Anthemau, Respondau, Infitatoriau, a chyfryw wag bethau ammherthynasol, ag oedd yn torri cwrs cyfun ddarllen-iad yr Ysgrythyr.

Etto, gan nad oes fodd amgen na byddo angenrheidiol bod ymbell Reol; am hynny y gosodwyd yma ryw Reolau, y rhai, megis nad ydynt ond ychydig o nifer, felly y maent yn rhwydd, ac yn hawdd eu deall. Wrth hynny mae i chwi yma Drefn am Weddïo, ac am ddarllain yr Ysgrythyr Lân, yn gwbl gyson â meddwl ac amcan yr hen Dadau, ac o lawer yn fwy llesol a chymmwys nâ'r un yr oeddid yn ddiweddar yn ei harfer. Y mae'n

fwy llesol, o achos bod yma 'n gadu allan lawer o bethau, o ba sawl y mae rhai heb fod yn wir, rhai yn amheus, rhai yn wag ac o ofer goel; ac nid ydys yn ordeinio darllain dim ond pur wir Air Duw, yr Ysgrythyr Lân, neu 'r cyfryw a seilir arni 'n eglur: a hynny yn y cyfryw Iaith a Threfn ag y sydd esmwythaf a hawsaf eu deall gan y Darllenwŷr, a'r Gwrandawŷr. Y mae hefyd yn fwy cymmwynasol, yn gystal o herwydd ei fyrred, ac o herwydd eglured ei Drefn, ac o herwydd bod y Rheolau yn ychydig o nifer, ac yn hawdd.

A lle bu cyn hyn amrywiaeth mawr wrth ddywedyd a chanu yn yr Eglwysi o fewn y Deyrnas hon, rhai yn canlyn Arfer *Salisbury*, rhai Arfer *Henffordd*, rhai Arfer *Bangor*, rhai Arfer *Efrawg*, a rhai eraill Arfer *Lincoln*: yn awr o hyn allan ni bydd i 'r holl Deyrnas ond un Arfer.

Ac yn gymmaint ag na ellir gosod dim allan gan mwyaf mor eglur, ag na chyfodo petrusder wrth ymarfer o hono: i ostegu pob cyfryw amrafael (o chyfyd yr un) ac am ddosparth pob rhyw betrusder ynghylch y modd a'r wedd y mae deall, a gwneuthur, a chwblhâu pob peth a gynhwysir yn y Llyfr hwn; y cyfryw a fyddont yn cymmeryd dim mewn amrafael foddion, a ant at Esgob yr Esgobaeth, yr hwn wrth ei ddoethineb a rydd drefn er llonyddu a heddychu 'r ddadl, trwy na byddo 'r drefn honno yn wrthwyneb i ddim a'r y sydd yn y Llyfr hwn. Ac o bydd Esgob yr Esgobaeth mewn dim petrusder, yna efe a all anfon am hyspysrwydd at yr Arch-Esgob.

---

*ER bod yn osodedig, fod pob peth a'r a ddarllenir ac a genir yn yr Eglwys, yn yr Iaith* Gymraeg, *er mwyn adeiladu 'r Gynnulleidfa: er hynny nid ydys yn meddwl pan ddywedo neb Blygain a Gosper gartref, na ddichon efe eu dywedyd ym mha Iaith bynnag a ddeallo.*

*A phob Offeiriad a Diacon sydd rwymedig i ddywedyd beunydd y Foreol a'r Brydnhawnol Weddi, naill ai yn neillduol, ai ar osteg, oddi eithr bod rhwystr arnynt trwy glefyd, neu o ran achos arall tra-angenrheidiol.*

*A'r Curad, sef y Periglor, a fo yn gwasanaethu ym mhob Eglwys blwyf neu Gapel, ac efe gartref, heb luddias rhesymmol arno, a ddywaid y Gwasanaeth hwnnw yn yr Eglwys blwyf neu 'r Capel lle y bo efe yn gwasanaethu; ac a bair ganu cloch iddo amser cymhesur, cyn y dechreuo, modd y gallo 'r bobl ddyfod i wrando Gair Duw, ac i weddio gyd ag ef.*

---

## ¶ *Am Seremoniau, paham y diddymmwyd rhai, ac y cedwir eraill.*

O'R Seremoniau arferedig yn yr Eglwys, ag y bu eu codiad o ordinhâd dyn, dychymmygwyd rhai ar y cyntaf o feddwl duwiol, ac i berwyl da; eithr trowyd o'r diwedd i wagedd ac ofer-goel: eraill a ddaethant i fewn i 'r Eglwys trwy Ddefosiwn anisbwyll, ac o zel heb wybodaeth; ac o herwydd cyd-ddwyn â hwynt ar y cyntaf, cynnyddasant i'w cam-arferu fwy-fwy beunydd; a'r rhai hyn a haeddasant, nid yn unig oblegid eu hafles, ond hefyd oblegid iddynt ddallu 'r bobl yn ddirfawr, a chaddugo Gogoniant Duw, eu torri ymaith, a'u bwrw heibio'n llwyr: y mae eraill, y rhai er eu dychymmygu gan ddyn, etto gwelwyd yn dda eu cadw, er mwyn Trefn weddus yn yr Eglwys (i 'r hyn beth y dychymmygwyd hwy gyntaf) nid yn llai, nag o herwydd eu bod yn gwasanaethu er Adeiladaeth, at yr hwn (medd yr Apostol) y dylid cyfeirio pob peth a wneler yn yr Eglwys.

Ar er nad yw cadw neu esgeuluso Seremoni, o hono ei hun, ond peth diystyr; etto nid bai bychan yngolwg Duw, yw troseddu a thorri Urdd a Rheolaeth gyffredin, trwy gyndynrwydd a dirmyg. *Gwneler pob peth* yn eich mysg (medd S. *Paul*) *mewn Trefn weddaidd a dyladwy.* Yr hon Drefn nid eiddo 'r gwerin ei happwyntio; am hynny na chymmered neb arno, ac na ryfyged, na threfnu, na newid un Osodedigaeth gyhoedd neu gyffredin o fewn Eglwys Grist, ond y sawl a elwir ac a awdurdodir yn gyfreithlawn i hynny.

A chan fod yn awr amryw feddyliau gan bobl o'n hamser ni, hyd pan dybygo rhai yn beth pwysfawr mewn Cydwybod, ymado â'r tippyn lleiaf o'u Seremoniau, y maent felly wedi ymroddi i'w hen Ddefodau; y mae rhai hefyd, o'r tu arall, â'u gwŷn yn gymmaint ar bob amheuthun, fel y chwennychent newyddu pob peth, a dirmygant yr hen cymhelled, na fydd dim wrth eu bodd hwy ond y sy newyddbeth: gwelwyd yn gymmwys, na edrychid cymmaint am foddhâu a boddloni yr un o'r ddwylyw, ag ar wneuthur wrth fodd Duw, ac ar les pob un o honynt hwy. Ac etto, fel na rwystrer neb a aller ei foddloni â Rheswm eglur, gosodir i lawr yma Achosion pennodol, paham y bwriwyd ymaith rai o'r Seremoniau gnottedig, a phaham y cynhelir ac y cedwir eraill etto ym mhellach.

Rhai a fwriwyd ymaith, oblegid cynnyddasai eu gorllanw a'u hamlder yn y dyddiau diweddaraf hyn, hyd onid aethai eu baich yn anoddef; am y rhai y cwynodd S. *Awstin* yn ei amser ef, gynnyddu eu rhifedi mor ddirfawr, hyd onid oedd stad y bobl Gristianogol mewn gwaeth cyflwr o'u plegid, nag oedd eiddo 'r Iuddewon. Ac efe a gynghorodd fwrw ymaith y fath iau a baich, tra gwasanaetha 'r amser i wneuthur hynny yn ddistaw heb derfysg. Eithr beth a ddywedasai S. *Awstin*, pe gwelsai 'r Seremoniau a arferid yn ddiweddar yn ein plith ni, i 'r rhai nid oedd y lliaws a arferid yn ei amser ef i'w cystadlu? Cymmaint oedd gorllawn lliaws ein Seremoniau, a bagad o honynt mor dywyll, hyd pan oeddynt yn dyfysgu ac yn tywyllu, yn hytrach nag yn mynegi ac yn gosod allan Ddaioni Crist i ni. Heb law hyn i gyd, nid Cyfraith seremoniaidd yw Efengyl Grist (fel yr oedd rhan fawr o Gyfraith *Moses*) eithr Crefydd i wasanaethu Duw, nid ynghaethiwed ffigur, neu gysgod, eithr yn rhyddid yr Yspryd; gan ymfoddloni i gynnifer o Seremoniau ag a wasanaetha i Drefn weddaidd, a Rheolaeth dduwiol; a'r cyfryw ag a ŷnt gymmwys i gyffrôi pŵl feddwl dŷn i gofio ei ddyled i Dduw, trwy ryw arwydd eglur ac amlwg, i'w adeiladaeth. Ym mhellach etto; Yr achos pwysfawroccaf o ddiddymmu rhai Seremoniau, cam-arferwyd hwy cyn belled, mewn rhan o herwydd dallineb gau-grefyddol y rhai anghywraint ac annysgedig, ac mewn rhan trwy annigonol gybydd-dra 'r cyfryw a geisient eu helw a'u budd eu hunain, yn hytrach nâ Gogoniant Duw; fel nad oedd hayach fodd i symmud y cam-arferau, a'r peth etto yn sefyll.

Eithr yn awr, am y rhai ond antur a rwystrir, o herwydd cadw etto rai o'r hen Seremoniau: os ystyriant nad yw bosibl cynnal Trefn a Rheolaeth heddychol yn yr Eglwys heb rai Seremoniau, cânt yn hawdd weled, fod achos cyfreithlawn iddynt newid eu meddyliau. Ac os mawr ganddynt fod yr un o'r rhai hen yn sefyll, ac yn well ganddynt lunio 'r cwbl o newydd, eithr gan iddynt ganiattâu mai cymmwys yw cael rhyw Seremoniau; diau, lle gellir yn dda arfer yr hen, nid oes fodd iddynt wrth reswm argyoeddi yr hen, yn unig am eu bod yn hen, heb ddatguddio eu gwall synwyr eu hunain: canys os felly y mae, hwy a ddylent roddi parch iddynt o herwydd eu Heneiddrwydd, os mynnant ddangos fod yn hoffach ganddynt Undeb a Chordiad, nâ Newidiadau, a Newydd-wŷniau, yr

hyn (cymmhelled ag y gall hynny gyttuno â gosod allan Ffydd Grist) y sydd bob amser i'w ochelyd. Ym mhellach etto, i'r cyfryw ni bydd achos cyfiawn i feio ar y Seremoniau a adawyd: canys megis y bwriwyd allan y rhai a gam-arferid fwyaf, ac a oeddynt yn faich ar Gydwybodau dynion heb achos; felly'r lleill a gedwir er mwyn Rheolaeth a Threfn, ac a ellir (ar achosion cyfiawn) eu hamgenu a'u newidio, am hynny nid ydynt i'w barnu yn un-fri â Chyfraith Dduw. Ym mhellach drachefn, Nid ŷnt Seremoniau tywyll nac aflafar, ond a osodir allan fel y gallo pob dŷn ddirnad beth y maent yn ei arwyddocâu, ac i ba ddefnydd y maent yn gwasanaethu; fel nad rhaid fawr ofni y cam-arferir hwy rhag llaw, fel y lleill o'r blaen. Ac yn gwneuthur hyn, nid ŷm yn condemnio un Genedl arall, nac yn gosod dim, namyn i'n Cenedl ein hun: canys cymhesur yw yn ein barn ni, fod i bob Gwlad arferu'r cyfryw Seremoniau a welont hwy yn oreu i ddyrchafu Anrhydedd a Gogoniant Duw, a thebyccaf i ddwyn eu pobl i Fuchedd berffaith a duwiol, heb nac Amryfusedd na Choel-grefydd; a dodi o honynt ymaith bethau eraill a ganfyddant o amser bwy gilydd eu cam-arferu, megis yn fynych yn digwydd ar amrafael foddion, mewn amrafael Wledydd yn Ordinhadau Dynion.

## ¶ *Y Drefn pa wedd yr appwyntir darllain y Psallwyr.*

Y Psallwyr a ddarllenir drosto unwaith bob mis, fel yr appwyntir yno, ar Foreol a Phrydnhawnol Weddi: eithr yn *Chwefror* y darllenir yn unig hyd yr wythfed ar hugain neu'r nawfed dydd ar hugain o'r mis.

A lle y mae i *Ionawr, Mawrth, Mai, Gorphenhaf, Awst, Hydref,* a *Rhagfyr,* un ar ddeg ar hugain o ddyddiau bob un, fe a ordeiniwyd fod darllain y dydd diwaethaf o'r misoedd hynny, y Psalmau a ddarllenwyd y dydd o'r blaen, fel y gallo'r Psalmau ddechreu drachefn y dydd cyntaf o'r mis a fyddo'n canlyn.

A lle y cyfrennir y bedwaredd Psalm ar bymtheg ar ol cant yn ddwy ran ar hugain, a'i bod yn rhŷ hir i'w darllain ar unwaith, fe a drefnwyd na bo darllain uwch law pedair neu bump o'r rhannau hynny ar un amser.

Ac ar ddiwedd pob Psalm, a phob cyfryw ran o'r bedwaredd Psalm ar bymtheg ar ol cant, dyweder yr Emyn yma.

*Gogoniant i'r Tad, ac i'r Mab: ac i'r Yspryd Glân;*

*Megis yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac y bydd yn wastad: yn oes oesoedd. Amen.*

*Nodwch,* Fod y Psallwyr yn canlyn Dosparthiad yr *Hebreaid,* a Chyfieithiad y Bibl mawr *Cymraeg,* a osodwyd allan ac a arferwyd yn amser y Frenhines *Elisabeta.*

## ¶ *Y Drefn pa wedd yr appwyntiwyd bod darllain y rhan arall o'r Ysgrythyr Lan.*

YR Hen Destament a osodwyd yn Llithoedd cyntaf ar Foreol a Phrydnhawnol Weddi: ac felly y rhan fwyaf o hono a ddarllenir unwaith bob blwyddyn, fel yr appwyntir yn y Calendar.

Y Testament Newydd a osodwyd yn ail Llithoedd, ar Foreol a Phrydnhawnol Weddi, ac a ddarllenir drosto mewn trefn bob blwyddyn deirgwaith, heb law'r Epistolau a'r Efangylau; oddi eithr Datguddiad *Ioan,* o'r hwn y gosodwyd bod rhyw Lithoedd prïod ar amrafael Wyliau.

Ac i wybod pa Lithoedd a ddarllenir bob dydd, myn gael y Dydd o'r Mis yn y Calendar yn canlyn; ac yno y cai ddeall y Pennodau a ddarllenir yn Llithoedd ar Foreol a Phrydnhawnol Weddi, oddi eithr y Gwyliau Symmudol yn unig, y rhai nid ydynt yn y Calendar, a'r Ansymmudol, lle y gadewir adwy yngholofn y Llithiau. Llithiau prïod i'r holl ddyddiau hynny a geir yn Nhabl y Llithoedd prïod.

A rhaid yw nodi hyn yma; Pa bryd bynnag y byddo Psalmau neu Llithoedd prïod wedi eu gosod, yna'r Psalmau a'r Llithoedd gosodedig yn y Calendar (o bydd rhagoriaeth rhyngthynt) a adewir heibio dros yr amser hwnnw.

Rhaid yw nodi hefyd, Fod y Colect, yr Epistol, a'r Efengyl, a osodir ar y Sul, yn gwasanaethu dros yr holl Wythnos rhag llaw, lle ni's trefnwyd yn amgenach yn y Llyfr hwn.

# ¶ LLITHIAU

Neillduol neu brïodol, i'w darllain ar Foreol a Phrydnhawnol Weddi, ar y Suliau, a Gwyliau eraill, trwy 'r holl Flwyddyn.

## ¶ *Llithiau Priod i'r Suliau.*

| | Plygain. | Gosper. |
|---|---|---|
| *Suliau yr Adfent.* | | |
| 1—— | Esay —— 1 | Esay —— 2 |
| 2—— | ——5 | ——24 |
| 3—— | ——25 | ——26 |
| 4—— | ——30 | ——32 |
| *Suliau gwedi Nadolig Crist.* | | |
| 1—— | ——37 | ——38 |
| 2—— | ——41 | ——43 |
| *Suliau gwedi'r Ystwyll.* | | |
| 1—— | ——44 | ——46 |
| 2—— | ——51 | ——53 |
| 3—— | ——55 | ——56 |
| 4—— | ——57 | ——58 |
| 5—— | ——59 | ——64 |
| 6—— | ——65 | ——66 |
| *Septuagesima.* | Genes. ——1 | Genes. ——2 |
| *Sexagesima.* | ——3 | ——6 |
| *Cwincwagesima.* | — 9 hyd w. 20 | ——12 |
| Y Garawys. *Y Sul cyntaf.* | —19 hyd w. 30 | ——22 |
| 2—— | ——27 | ——34 |
| 3—— | ——39 | ——42 |
| 4—— | ——43 | ——45 |
| 5—— | Exod. ——3 | Exod. ——5 |
| 6—— | | |
| 1 Llith. | ——9 | ——10 |
| 2 Lith. | Matth. —— 26 | Heb. 5 hyd (w. 11 |
| *Dydd Pasg.* 1 Llith. | Exod. —— 12 | Exod. ——14 |
| 2 Lith. | Rhuf. ——6 | Act. 2 hyd (w. 22 |
| *Suliau gwedi'r Pasg.* | | |
| 1—— | Num. —— 16 | Num. ——22 |
| 2—— | —— 23, 24 | ——25 |
| 3—— | Deut. ——4 | Deut. ——5 |
| 4—— | ——6 | ——7 |
| 5—— | ——8 | ——9 |
| *Y Sul gwedi'r Dyrchafael.* | ——12 | ——13 |
| *Y Sulgwyn.* 1 Llith. | Deut. 16 hyd (w. 18 | Esay ——11 |
| 2 Lith. | Act. 10 gw. 34 | Act. 19 hyd (w. 21 |
| *Sul y Drindod.* 1 Llith. | Genes. ——1 | Genes. ——18 |
| 2 Lith. | Matth. ——3 | 1 Ioan ——5 |
| *Suliau gwedi'r Drindod.* | | |
| 1—— | Joshua —— 10 | Joshua ——23 |
| 2—— | Barn. ——4 | Barn. ——5 |
| 3—— | 1 Sam. ——2 | 1 Sam. ——3 |
| 4—— | ——12 | ——13 |
| 5—— | ——15 | ——17 |
| 6—— | 2 Sam. —— 12 | 2 Sam. ——19 |
| 7—— | ——21 | ——24 |

| *Suliau gwedi 'r Drindod.* | *Plygain.* | *Gosper.* |
|---|---|---|
| 8—— | 1 Bren. ——13 | 1 Bren. ——17 |
| 9—— | ——18 | ——19 |
| 10—— | ——21 | ——22 |
| 11—— | 2 Bren. ——5 | 2 Bren. ——9 |
| 12—— | ——10 | ——18 |
| 13—— | ——19 | ——23 |
| 14—— | Jerem. ——5 | Jerem. ——22 |
| 15—— | ——35 | ——36 |
| 16—— | Ezec. ——2 | Ezec. ——13 |
| 17—— | ——14 | ——18 |
| 18—— | ——20 | ——24 |
| 19—— | Dan. ——3 | Dan. ——6 |
| 20—— | Joël ——2 | Michah ——6 |
| 21—— | Habac. ——2 | Dïar. ——1 |
| 22—— | Dïar. ——2 | ——3 |
| 23—— | ——11 | ——12 |
| 24—— | ——13 | ——14 |
| 25—— | ——15 | ——16 |
| 26—— | ——17 | ——19 |

## ¶ *Llithiau Priod i'r Dyddiau Gwylion.*

| | Plygain. | Gosper. |
|---|---|---|
| St. *Andreas.* | Dïar. ——20 | Dïar. ——21 |
| St. *Thomas* Ap. | ——23 | ——24 |
| *Nadolig Crist.* 1 Llith. | Esay 9 hyd (w. 8 | Esay 7 gw. 10 (hyd w. 17 |
| 2 Lith. | Luc 2 hyd (w. 15 | Titus 3 gw. 4 (hyd w. 9 |
| St. *Stephan.* 1 Llith. | Dïar. ——28 | Preg. ——4 |
| 2 Lith. | Act. 6. gw. 8 a'r 7. ben. hyd w. 30 | Act. 7. gw. 30 (hyd w. 55 |
| St. *Ioan.* 1 Llith. | Preg. ——5 | Preg. ——6 |
| 2 Lith. | Datg. ——1 | Datg. ——22 |
| *Dydd y Gwirioniaid.* | Jer. 31 hyd (w. 18 | Doeth. ——1 |
| *Dydd yr Enwaediad.* 1 Llith. | Gen. ——17 | Deut. 10 gw. (12 |
| 2 Lith. | Rhuf. ——2 | Colos. ——2 |
| *Ystwyll.* 1 Llith. | Esay ——60 | Esay ——49 |
| 2 Lith. | Luc 3 hyd (w. 23 | Ioan 2 hyd (w. 12. |
| *Troad* St. *Paul.* 1 Llith. | Doeth. ——5 | Doeth ——6 |
| 2 Lith. | Act. 22. hyd (w. 22 | Act. ——26 |
| *Puredigaeth Mair Forwyn.* | Doeth ——9 | Doeth. ——12 |
| St. *Matthias.* | ——19 | Eccles. —— 1 |
| *Cennadwri ein Harglwyddes.* | Eccles. ——2 | ——3 |
| *Dydd Merchur cyn y Pasg.* 1 Llith. | Hosea ——13 | Hosea ——14 |
| 2 Lith. | Ioan 11, gw. 45 | |
| *Dydd Iau cyn y Pasg.* 1 Llith. | Daniel ——9 | Jer. ——31 |
| 2 Lith. | Ioan ——13 | |

## ¶ *Llithiau Priod*, &c.

| *Gwener y Croglith.* | *Plygain.* | *Gosper.* |
|---|---|---|
| 1 Llith. | Gen. 22 hyd (w. 20 | Esay ——53 |
| 2 Lith. | Ioan ——18 | 1 Petr ——2 |
| *Nos Basg.* | | |
| 1 Llith. | Zech. ——9 | Exod. ——13 |
| 2 Lith. | Luc 23 gw. 50 | Hebr. ——4 |
| *Dydd Llun Pasg.* | | |
| 1 Llith. | Exod. ——16 | Exod. ——17 |
| 2 Lith. | Matth. ——28 | Act. ——3 |
| *Dydd Mawrth Pasg.* | | |
| 1 Llith. | Exod. ——20 | Exod. ——32 |
| 2 Lith. | Luc 24 hyd (w. 13 | 1 Cor. ——15 |
| St. *Marc.* | Eccles. —— 4 | Eccles. ——5 |
| St. *Phylip* a St. *Iago.* | | |
| 1 Llith. | ————7 | ————9 |
| 2 Lith. | Ioan 1 gw. 43 | |
| *Dydd y Dyrchafael.* | | |
| 1 Llith. | Deut ——10 | 2 Bren. ——2 |
| 2 Lith. | Luc 24 gw. 44 | Eph. 4 hyd (w. 17 |
| *Dydd Llun y Sulgwyn.* | | |
| 1 Llith. | Gen. 11 hyd (w. 10 | Num. 11 gw. (16 hyd w. 30 |
| 2 Lith. | 1 Cor. ——12 | 1 Cor. 14 hyd (w. 26 |

| *Dydd Mawrth y Sulgwyn.* | *Plygain.* | *Gosper.* |
|---|---|---|
| 1 Llith. | 1 Sam. 19 gw. (18 | Deut. ——30 |
| 2 Lith. | 1 Thess. 5 gw. (12 hyd w. 24 | 1 Ioan 4 hyd (w. 14 |
| St. *Barnabas.* | | |
| 1 Llith. | Eccles. ——10 | Eccles. ——12 |
| 2 Lith. | Act. ——14 | Act. 15 hyd (w. 36 |
| St. *Ioan Fedyddiwr.* | | |
| 1 Llith. | Malach. ——3 | Malach. ——4 |
| 2 Lith. | Matth. ——3 | Matth. 14 hyd (w. 13 |
| S. *Petr.* | | |
| 1 Llith. | Eccles. ——15 | Eccles. ——19 |
| 2 Lith. | Act. ——3 | Act. ——4 |
| St. *Iago.* | Eccles. ——21 | Eccles. ——22 |
| St. *Bartholomeus.* | ————24 | ————29 |
| St. *Matthew.* | ————35 | ————38 |
| S. *Mihangel.* | | |
| 1 Llith. | Gen. ——32 | Dan 10 gw. 5 |
| 2 Lith. | Act. 12 hyd (w. 20 | Jud. gw. 6 hyd (w. 16 |
| S. *Luc.* | Eccles. ——51 | Job ——1 |
| S. *Simon* a St. *Judas.* | Job 24 a'r 25 (w. 10 | ———— 42 (w. 17 |
| *Holl Saint.* | | |
| 1 Llith. | Doeth. 3 hyd | Doeth. 5 hyd |
| 2 Lith. | Hebr. 11 gw. (33 a phen (12 hyd w. 7 | Datg. 19 hyd (w. 17 |

## ¶ *Psalmau Priod ar Ddyddiau pennodol.*

| | *Plygain.* | *Gosper.* |
|---|---|---|
| *Dydd Nadolig Crist.* | Psal. 19<br>45<br>85 | Psal. 89<br>110<br>132 |
| *Dydd Mercher y Lludw.* | 6<br>32<br>38 | 102<br>130<br>143 |
| *Dydd Gwener y Crogl.* | 22<br>40<br>54 | 69<br>88 |
| *Dydd Pasg.* | 2<br>57<br>111 | 113<br>114<br>118 |
| *Dydd y Dyrchafael.* | 8<br>15<br>21 | 24<br>47<br>108 |
| *Y Sulgwyn.* | 48<br>68 | 104<br>145 |

# Y CALENDAR,

## GYD A THABL Y LLITHIAU.

### IONAWR sydd iddo xxxi. o Ddyddiau.

| | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | 1 Llith. | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| 1 | A | *Enwaediad.* | | | | |
| 2 | b | ——— | Gen. 1 | Matth. 1 | Gen. 2 | Rhuf. 1 |
| 3 | c | ——— | 3 | 2 | 4 | 2 |
| 4 | d | ——— | 5 | 3 | 6 | 3 |
| 5 | e | ——— | 7 | 4 | 8 | 4 |
| 6 | f | *Ystwyll.* ——— | | | | |
| 7 | g | ——— | 9 | 5 | 12 | 5 |
| 8 | A | Lucian, Off. | 13 | 6 | 14 | 6 |
| 9 | b | —(a M. | 15 | 7 | 16 | 7 |
| 10 | c | ——— | 17 | 8 | 18 | 8 |
| 11 | d | ——— | 19 | 9 | 20 | 9 |
| 12 | e | ——— | 21 | 10 | 22 | 10 |
| 13 | f | Hilar, Esg. a Ch. | 23 | 11 | 24 | 11 |
| 14 | g | ——— | 25 | 12 | 26 | 12 |
| 15 | A | ——— | 27 | 13 | 28 | 13 |
| 16 | b | ——— | 29 | 14 | 30 | 14 |
| 17 | c | ——— | 31 | 15 | 32 | 15 |
| 18 | d | Prisca. For. | 33 | 16 | 34 | 16 |
| 19 | e | —(a M. | 35 | 17 | 37 | 1 Cor. 1 |
| 20 | f | Fabian, E. a M. | 38 | 18 | 39 | 2 |
| 21 | g | Agnes, F. a M. | 40 | 19 | 41 | 3 |
| 22 | A | Vinc. Sp. D. M. | 42 | 20 | 43 | 4 |
| 23 | b | ——— | 44 | 21 | 45 | 5 |
| 24 | c | ——— | 46 | 22 | 47 | 6 |
| 25 | d | *Troad S. Paul.* | | | | |
| 26 | e | ——— | 48 | 23 | 49 | 7 |
| 27 | f | ——— | 50 | 24 | Exod. 1 | 8 |
| 28 | g | ——— | Exod. 2 | 25 | 3 | 9 |
| 29 | A | ——— | 4 | 26 | 5 | 10 |
| 30 | b | *Siarles* I. Br. | * 6 | 27 | 7 | 11 |
| 31 | c | —(a M. | 8 | 28 | 9 | 12 |

Nodwch, y darllenir (*) *Exodus* vi. yn unig hyd wers 14.

### CHWEFROR sydd iddo xxviii. o Ddyddiau.
Ac ym mhob Blwyddyn Naid xxix. o Ddyddiau.

| | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | 1 Llith. | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| 1 | d | Ympryd. ——— | Exod. 10 | Marc 1 | Exod. 11 | 1 Cor. 13 |
| 2 | e | *Pur.* Mair F.— | ——— | 2 | ——— | 14 |
| 3 | f | Blasius, E. a M. | 12 | 3 | 13 | 15 |
| 4 | g | ——— | 14 | 4 | 15 | 16 |
| 5 | A | Agatha, F. a M. | 16 | 5 | 17 | 2 Cor. 1 |
| 6 | b | ——— | 18 | 6 | 19 | 2 |
| 7 | c | ——— | 20 | 7 | 21 | 3 |
| 8 | d | ——— | 22 | 8 | 23 | 4 |
| 9 | e | ——— | 24 | 9 | 32 | 5 |
| 10 | f | ——— | 33 | 10 | 34 | 6 |
| 11 | g | ——— | Lef. 18 | 11 | Lef. 19 | 7 |
| 12 | A | ——— | 20 | 12 | 26 | 8 |
| 13 | b | ——— | Num. 11 | 13 | Num. 12 | 9 |
| 14 | c | Valentin, E. | 13 | 14 | 14 | 10 |
| 15 | d | —(a M. | 16 | 15 | 17 | 11 |
| 16 | e | ——— | 20 | 16 | 21 | 12 |
| 17 | f | ——— | 22 | Luc * 1 | 23 | 13 |
| 18 | g | ——— | 24 | 1 | 25 | Galat. 1 |
| 19 | A | ——— | 27 | 2 | 30 | 2 |
| 20 | b | ——— | 31 | 3 | 32 | 3 |
| 21 | c | ——— | 35 | 4 | 36 | 4 |
| 22 | d | ——— | Deut. 1 | 5 | Deut. 2 | 5 |
| 23 | e | Ympryd. ——— | 3 | 6 | 4 | 6 |
| 24 | f | S. *Matthias,* | ——— | 7 | ——— | Ephes. 1 |
| 25 | g | —(Ap. a M. | 5 | 8 | 6 | 2 |
| 26 | A | ——— | 7 | 9 | 8 | 3 |
| 27 | b | ——— | 9 | 10 | 10 | 4 |
| 28 | c | ——— | 11 | 11 | 12 | 5 |
| 29 | — | ——— | 13 | Matth. 7 | 14 | Rhuf. 12 |

Nodwch, y darllenir Luc * 1 hyd w. 39 y 17 Dydd, ac oddi yno hyd y diwedd ar y 18ed. Dydd.

Ar y Flwyddyn Naid y dodir y Llythyren F ar y 24 a'r 25 Dydd.

### MAWRTH sydd iddo xxxi. o Ddyddiau.

| | | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | | 1 Llith. | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| | 1 | d | *Dewi,* A. E. — | Deut. 15 | Luc 12 | Deut. 16 | Ephes. 6 |
| | 2 | e | Chad. E. ——— | 17 | 13 | 18 | Philip. 1 |
| | 3 | f | ——— | 19 | 14 | 20 | 2 |
| | 4 | g | ——— | 21 | 15 | 22 | 3 |
| | 5 | A | ——— | 24 | 16 | 25 | 4 |
| | 6 | b | ——— | 26 | 17 | 27 | Colos. 1 |
| | 7 | c | Perpetua, | 28 | 18 | 29 | 2 |
| | 8 | d | —(Mart. M. | 30 | 19 | 31 | 3 |
| | 9 | e | ——— | 32 | 20 | 33 | 4 |
| | 10 | f | ——— | 34 | 21 | Josua 1 | 1 Thes. 1 |
| | 11 | g | ——— | Josua 2 | 22 | 3 | 2 |
| | 12 | A | Gregor, Esg. | 4 | 23 | 5 | 3 |
| | 13 | b | —(a Ch. | 6 | 24 | 7 | 4 |
| | 14 | c | ——— | 8 | Ioan 1 | 9 | 5 |
| | 15 | d | ——— | 10 | 2 | 23 | 2 Thes. 1 |
| | 16 | e | ——— | 24 | 3 | Barn. 1 | 2 |
| | 17 | f | ——— | Barn. 2 | 4 | 3 | 3 |
| | 18 | g | Edw. Br. ——— | 4 | 5 | 5 | 1 Tim. 1 |
| | 19 | A | ——— | 6 | 6 | 7 | 2, 3 |
| | 20 | b | ——— | 8 | 7 | 9 | 4 |
| 14 | 21 | c | Benedict, Abad. | 10 | 8 | 11 | 5 |
| 3 | 22 | d | ——— | 12 | 9 | 13 | 6 |
| | 23 | e | ——— | 14 | 10 | 15 | 2 Tim. 1 |
| 11 | 24 | f | Ympryd. ——— | 16 | 11 | 17 | 2 |
| | 25 | g | *Cyfarch.* | ——— | 12 | ——— | 3 |
| 19 | 26 | A | —(Mair F. | 18 | 13 | 19 | 4 |
| 8 | 27 | b | ——— | 20 | 14 | 21 | Titus 1 |
| | 28 | c | ——— | Ruth 1 | 15 | Ruth 2 | 2, 3 |
| 16 | 29 | d | ——— | 3 | 16 | 4 | Philem. |
| 5 | 30 | e | ——— | 1 Sam. 1 | 17 | 1 Sam. 2 | Hebr. 1 |
| | 31 | f | ——— | 3 | 18 | 4 | 2 |

Y Rhifau a ddodwyd yma gyferbyn a'r amryw Ddyddiau rhwng yr 21 Dydd o Fawrth a'r 18 Dydd o Ebrill, y ddau yn gynwysedig, a ddangosant y Dyddiau ar ba rai y syrth y Lleuad Lawn Basg a ddigwydd ar, neu yn nesaf ar ol, yr 21 dydd o Fawrth, yn y Blynyddoedd hynny o ba rai y maent

### EBRILL sydd iddo xxx. o Ddyddiau.

| | | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | | 1 Llith. | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| 13 | 1 | g | ——— | 1 Sam 5 | Ioan 19 | 1 Sam. 6 | Hebr. 3 |
| 2 | 2 | A | ——— | 7 | 20 | 8 | 4 |
| | 3 | b | Rhichart, E. — | 9 | 21 | 10 | 5 |
| 10 | 4 | c | S. Ambros, E. | 11 | Act. 1 | 12 | 6 |
| | 5 | d | ——— | 13 | 2 | 14 | 7 |
| 18 | 6 | e | ——— | 15 | 3 | 16 | 8 |
| 7 | 7 | f | ——— | 17 | 4 | 18 | 9 |
| | 8 | g | ——— | 19 | 5 | 20 | 10 |
| 15 | 9 | A | ——— | 21 | 6 | 22 | 11 |
| 4 | 10 | b | ——— | 23 | 7 | 24 | 12 |
| | 11 | c | ——— | 25 | 8 | 26 | 13 |
| 12 | 12 | d | ——— | 27 | 9 | 28 | Iago 1 |
| 1 | 13 | e | ——— | 29 | 10 | 30 | 2 |
| | 14 | f | ——— | 31 | 11 | 2 Sam. 1 | 3 |
| 9 | 15 | g | ——— | 2 Sam. 2 | 12 | 3 | 4 |
| | 16 | A | ——— | 4 | 13 | 5 | 5 |
| 17 | 17 | b | ——— | 6 | 14 | 7 | 1 Petr 1 |
| 6 | 18 | c | ——— | 8 | 15 | 9 | 2 |
| | 19 | d | Alpheg, A. E. | 10 | 16 | 11 | 3 |
| | 20 | e | ——— | 12 | 17 | 13 | 4 |
| | 21 | f | ——— | 14 | 18 | 15 | 5 |
| | 22 | g | ——— | 16 | 19 | 17 | 2 Petr 1 |
| | 23 | A | S. Sior, M. ——— | 18 | 20 | 19 | 2 |
| | 24 | b | ——— | 20 | 21 | 21 | 3 |
| | 25 | c | *S. Marc* Efang. | ——— | 22 | ——— | 1 Ioan 1 |
| | 26 | d | —(a M. | 22 | 23 | 23 | 2 |
| | 27 | e | ——— | 24 | 24 | 1 Bren. 1 | 3 |
| | 28 | f | ——— | 1 Bren. 2 | 25 | 3 | 4 |
| | 29 | g | ——— | 4 | 26 | 5 | 5 |
| | 30 | A | ——— | 6 | 27 | 7 | 2, 3 Ioan |

bob un yn Brifion; a'r Llythyren Sul nesaf ar ol y cyfryw Lawn Lleuad a ddengys Ddydd Pasg am y Flwyddyn honno. Yr hyn oll a ddeil yn gywir hyd Flwyddyn yr Arglwydd 1899 gynwysedig; wedi 'r Flwyddyn honno rhaid newid lleoedd y Prifiau hyn yn y Calendar, fel y dangosir yma rhagllaw.

# Y CALENDAR,

## GYD A THABL Y LLITHIAU.

### MAI sydd iddo xxxi. o Ddyddiau.

| | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | 1 Llith | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| 1 | b | S. Phyl. a Iago. | — | — | — | Judas. |
| 2 | c | ——(Ap. a M. | 1 Bren. 8 | Act. 28 | 1 Bren. 9 | Rhuf. 1 |
| 3 | d | Cafiael y Groes. | 10 | Matt. 1 | 11 | 2 |
| 4 | e | ——— | 12 | 2 | 13 | 3 |
| 5 | f | ——— | 14 | 3 | 15 | 4 |
| 6 | g | S. Ioan, Et ante | 16 | 4 | 17 | 5 |
| 7 | A | ——(Port. Lat. | 18 | 5 | 19 | 6 |
| 8 | b | ——— | 20 | 6 | 21 | 7 |
| 9 | c | ——— | 22 | 7 | 2 Bren. 1 | 8 |
| 10 | d | ——— | 2 Bren. 2 | 8 | 3 | 9 |
| 11 | e | ——— | 4 | 9 | 5 | 10 |
| 12 | f | ——— | 6 | 10 | 7 | 11 |
| 13 | g | ——— | 8 | 11 | 9 | 12 |
| 14 | A | ——— | 10 | 12 | 11 | 13 |
| 15 | b | ——— | 12 | 13 | 13 | 14 |
| 16 | c | ——— | 14 | 14 | 15 | 15 |
| 17 | d | ——— | 16 | 15 | 17 | 16 |
| 18 | e | ——— | 18 | 16 | 19 | 1 Cor. 1 |
| 19 | f | Dunstan, A. E. | 20 | 17 | 21 | 2 |
| 20 | g | ——— | 22 | 18 | 23 | 3 |
| 21 | A | ——— | 24 | 19 | 25 | 4 |
| 22 | b | ——— | Ezra 1 | 20 | Ezra 3 | 5 |
| 23 | c | ——— | 4 | 21 | 5 | 6 |
| 24 | d | ——— | 6 | 22 | 7 | 7 |
| 25 | e | ——— | 9 | 23 | Neh. 1 | 8 |
| 26 | f | Awstin, A. E. | Neh. 2 | 24 | 4 | 9 |
| 27 | g | Bede, Off. ——— | 5 | 25 | 6 | 10 |
| 28 | A | ——— | 8 | 26 | 9 | 11 |
| 29 | b | Gen. a Dych. | 10 | 27 | 13 | 12 |
| 30 | c | Br. Siarles II. | Esther 1 | 28 | Esther 2 | 13 |
| 31 | d | ——— | 3 | Marc 1 | 4 | 14 |

### GORPHENHAF sydd iddo xxxi. o Ddyddiau.

| | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | 1 Llith. | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| 1 | g | ——— | Diar. 11 | Luc 13 | Diar. 12 | Philip. 1 |
| 2 | A | Ymwel. Mair F. | 13 | 14 | 14 | 2 |
| 3 | b | ——— | 15 | 15 | 16 | 3 |
| 4 | c | Martin, E. a Ch. | 17 | 16 | 18 | 4 |
| 5 | d | ——— | 19 | 17 | 20 | Colos. 1 |
| 6 | e | ——— | 21 | 18 | 22 | 2 |
| 7 | f | ——— | 23 | 19 | 24 | 3 |
| 8 | g | ——— | 25 | 20 | 26 | 4 |
| 9 | A | ——— | 27 | 21 | 28 | 1 Thes. 1 |
| 10 | b | ——— | 29 | 22 | 31 | 2 |
| 11 | c | ——— | Preg. 1 | 23 | Preg. 2 | 3 |
| 12 | d | ——— | 3 | 24 | 4 | 4 |
| 13 | e | ——— | 5 | Ioan 1 | 6 | 5 |
| 14 | f | ——— | 7 | 2 | 8 | 2 Thes. 1 |
| 15 | g | Swithun, E. ——— | 9 | 3 | 10 | 2 |
| 16 | A | ——— | 11 | 4 | 12 | 3 |
| 17 | b | ——— | Jerem. 1 | 5 | Jerem. 2 | 1 Tim. 1 |
| 18 | c | ——— | 3 | 6 | 4 | 2, 3 |
| 19 | d | ——— | 5 | 7 | 6 | 4 |
| 20 | e | Marged, F. a M. | 7 | 8 | 8 | 5 |
| 21 | f | ——— | 9 | 9 | 10 | 6 |
| 22 | g | Mair Mag. ——— | 11 | 10 | 12 | 2 Tim. 1 |
| 23 | A | ——— | 13 | 11 | 14 | 2 |
| 24 | b | Ympryd. ——— | 15 | 12 | 16 | 3 |
| 25 | c | S. Iago, A. a M. | — | 13 | — | 4 |
| 26 | d | S. Ann, Mam | 17 | 14 | 18 | Titus 1 |
| 27 | e | ——(Mair F. | 19 | 15 | 20 | 2, 3 |
| 28 | f | ——— | 21 | 16 | 22 | Philem. |
| 29 | g | ——— | 23 | 17 | 24 | Hebr. 1 |
| 30 | A | ——— | 25 | 18 | 26 | 2 |
| 31 | b | ——— | 27 | 19 | 28 | 3 |

### MEHEFIN sydd iddo xxx. o Ddyddiau.

| | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | 1 Llith. | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| 1 | e | Nicom. Off. ——— | Esther 5 | Marc 2 | Esther 6 | 1 Cor. 15 |
| 2 | f | ——(a M. ——— | 7 | 3 | 8 | 16 |
| 3 | g | ——— | 9 | 4 | Job 1 | 2 Cor. 1 |
| 4 | A | ——— | Job 2 | 5 | 3 | 2 |
| 5 | b | Boniface, E. | 4 | 6 | 5 | 3 |
| 6 | c | ——(a M. ——— | 6 | 7 | 7 | 4 |
| 7 | d | ——— | 8 | 8 | 9 | 5 |
| 8 | e | ——— | 10 | 9 | 11 | 6 |
| 9 | f | ——— | 12 | 10 | 13 | 7 |
| 10 | g | ——— | 14 | 11 | 15 | 8 |
| 11 | A | S. Barnabas, | — | — | — | — |
| 12 | b | ——(Ap. a M. | 16 | 12 | 17, 18 | 9 |
| 13 | c | ——— | 19 | 13 | 20 | 10 |
| 14 | d | ——— | 21 | 14 | 22 | 11 |
| 15 | e | ——— | 23 | 15 | 24, 25 | 12 |
| 16 | f | ——— | 26, 27 | 16 | 28 | 13 |
| 17 | g | S. Alban, M. — | 29 | Luc 1 | 30 | Galat. 1 |
| 18 | A | ——— | 31 | 2 | 32 | 2 |
| 19 | b | ——— | 33 | 3 | 34 | 3 |
| 20 | c | Edward, Br. — | 35 | 4 | 36 | 4 |
| 21 | d | ——— | 37 | 5 | 38 | 5 |
| 22 | e | ——— | 39 | 6 | 40 | 6 |
| 23 | f | Ympryd. ——— | 41 | 7 | 42 | Ephes. 1 |
| 24 | g | Gen. S. Ioan | — | — | — | — |
| 25 | A | ——(Fed. ——— | Diar. 1 | 8 | Diar. 2 | 2 |
| 26 | b | ——— | 3 | 9 | 4 | 3 |
| 27 | c | ——— | 5 | 10 | 6 | 4 |
| 28 | d | Ympryd ——— | 7 | 11 | 8 | 5 |
| 29 | e | S. Petr, A. a M. | — | — | — | — |
| 30 | f | ——— | 9 | 12 | 10 | 6 |

### AWST sydd iddo xxxi. o Ddyddiau.

| | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | 1 Llith. | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| 1 | c | Lammas. ——— | Jer. 29 | Ioan 20 | Jer. 30 | Hebr. 4 |
| 2 | d | ——— | 31 | 21 | 32 | 5 |
| 3 | e | ——— | 33 | Act. 1 | 34 | 6 |
| 4 | f | ——— | 35 | 2 | 36 | 7 |
| 5 | g | ——— (Hargl. | 37 | 3 | 38 | 8 |
| 6 | A | Ymrith. ein | 39 | 4 | 40 | 9 |
| 7 | b | Enw'r Iesu. — | 41 | 5 | 42 | 10 |
| 8 | c | ——— | 43 | 6 | 44 | 11 |
| 9 | d | ——— | 45, 46 | 7 | 47 | 12 |
| 10 | e | S. Lawr. Arch. | 48 | 8 | 49 | 13 |
| 11 | f | ——(D. a M. — | 50 | 9 | 51 | Iago 1 |
| 12 | g | ——— | 52 | 10 | Galar. 1 | 2 |
| 13 | A | ——— | Galar. 2 | 11 | 3 | 3 |
| 14 | b | ——— | 4 | 12 | 5 | 4 |
| 15 | c | ——— | Ezec. 2 | 13 | Ezec. 3 | 5 |
| 16 | d | ——— | 6 | 14 | 7 | 1 Petr 1 |
| 17 | e | ——— | 13 | 15 | 14 | 2 |
| 18 | f | ——— | 18 | 16 | 33 | 3 |
| 19 | g | ——— | 34 | 17 | Dan. 1 | 4 |
| 20 | A | ——— | Dan. 2 | 18 | 3 | 5 |
| 21 | b | ——— | 4 | 19 | 5 | 2 Petr 1 |
| 22 | c | ——— | 6 | 20 | 7 | 2 |
| 23 | d | Ympryd. ——— | 8 | 21 | 9 | 3 |
| 24 | e | S. Barth. A. | — | 22 | — | 1 Ioan 1 |
| 25 | f | ——(a M. ——— | 10 | 23 | 11 | 2 |
| 26 | g | ——— | 12 | 24 | Hos. 1 | 3 |
| 27 | A | ——— | Hos. 2, | 25 | 4 | 4 |
| 28 | b | S. Awstin, E. — | 3, 5, 6 | 26 | 7 | 5 |
| 29 | c | Torri pen Ioan | 8 | 27 | 9 | 2, 3 Ioan |
| 30 | d | ——(Fed. ——— | 10 | 28 | 11 | Judas. |
| 31 | e | ——— | 12 | Matth. 1 | 13 | Rhuf. 1 |

# Y CALENDAR,

## GYD A THABL Y LLITHIAU.

### MEDI sydd iddo xxx. o Ddyddiau.

| | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | 1 Llith. | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| 1 | f | Silin, Abad | Hos. 14 | Matt. 2 | Ioel 1 | Rhuf. 2 |
| 2 | g | —(a Chyff.— | Ioel 2 | 3 | 3 | 3 |
| 3 | A | — | Amos 1 | 4 | Amos 2 | 4 |
| 4 | b | — | 3 | 5 | 4 | 5 |
| 5 | c | — | 5 | 6 | 6 | 6 |
| 6 | d | — | 7 | 7 | 8 | 7 |
| 7 | e | Enurc. Esg.— | 9 | 8 | Obad. | 8 |
| 8 | f | Gened. Mair F. | Ionah 1 | 9 | Ion. 2, 3 | 9 |
| 9 | g | — | 4 | 10 | Mich. 1 | 10 |
| 10 | A | — | Mich. 2 | 11 | 3 | 11 |
| 11 | b | — | 4 | 12 | 5 | 12 |
| 12 | c | — | 6 | 13 | 7 | 13 |
| 13 | d | — | Nah. 1 | 14 | Nah. 2 | 14 |
| 14 | e | Groes S. — | 3 | 15 | Hab. 1 | 15 |
| 15 | f | — | Hab. 2 | 16 | 3 | 16 |
| 16 | g | — | Seph. 1 | 17 | Seph. 2 | 1 Cor. 1 |
| 17 | A | Lambert, E — | 3 | 18 | Hag. 1 | 2 |
| 18 | b | —(a M. — | Hag. 2 | 19 | Zech. 1 | 3 |
| 19 | c | — | Zec. 2, 3 | 20 | 4, 5 | 4 |
| 20 | d | Ympryd. — | 6 | 21 | 7 | 5 |
| 21 | e | S. *Matt.* Ap. — | — | 22 | — | 6 |
| 22 | f | —(Efang. a M | 8 | 23 | 9 | 7 |
| 23 | g | — | 10 | 24 | 11 | 8 |
| 24 | A | — | 12 | 25 | 13 | 9 |
| 25 | b | — | 14 | 26 | Mal 1 | 10 |
| 26 | c | S. Cypr. A. E. | Mal. 2 | 27 | 3 | 11 |
| 27 | d | — | 4 | 28 | Tobit 1 | 12 |
| 28 | e | a'r holl Ang. | Tobit 2 | Marc 1 | 3 | 13 |
| 29 | f | S. *Mihangel* | — | 2 | — | 14 |
| 30 | g | S. Ierom, Off. —(a Chyff. | 4 | 3 | 6 | 15 |

### TACHWEDD sydd iddo xxx. o Ddyddiau.

| | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | 1 Llith. | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| 1 | d | *Hollsaint.* | — | — | — | — |
| 2 | e | — | Eccl. 16 | Luc 18 | Eccl. 17 | Colos. 2 |
| 3 | f | — | 18 | 19 | 19 | 3 |
| 4 | g | — | 20 | 20 | 21 | 4 |
| 5 | A | *Brad y* Pap. — | 22 | 21 | 23 | 1 Thes. 1 |
| 6 | b | Leonard, C. — | 24 | 22 | * 25 | 2 |
| 7 | c | — | 27 | 23 | 28 | 3 |
| 8 | d | — | 29 | 24 | † 30 | 4 |
| 9 | e | — | 31 | Ioan 1 | 32 | 5 |
| 10 | f | — | 33 | 2 | 34 | 2 Thes. 1 |
| 11 | g | S. Martin, — | 35 | 3 | 36 | 2 |
| 12 | A | —(E. a Ch. — | 37 | 4 | 38 | 3 |
| 13 | b | Britius, E. — | 39 | 5 | 40 | 1 Tim. 1 |
| 14 | c | — | 41 | 6 | 42 | 2, 3 |
| 15 | d | Mechell, E. — | 43 | 7 | 44 | 4 |
| 16 | e | — | 45 | 8 | ‡ 46 | 5 |
| 17 | f | Huw, E. — | 47 | 9 | 48 | 6 |
| 18 | g | — | 49 | 10 | 50 | 2 Tim. 1 |
| 19 | A | — | 51 | 11 | Baruch 1 | 2 |
| 20 | b | Edm. Br. a M. | Baruch 2 | 12 | 3 | 3 |
| 21 | c | — | 4 | 13 | 5 | 4 |
| 22 | d | Cecilia, F. a M. | 6 | 14 | Yst. Sus. | Titus 1 |
| 23 | e | S. Clem. E. a M. | B. a'r Dd. | 15 | Esay 1 | 2, 3 |
| 24 | f | — | Esay 2 | 16 | 3 | Philem. |
| 25 | g | Catrin, F. a M. | 4 | 17 | 5 | Hebr. 1 |
| 26 | A | — | 6 | 18 | 7 | 2 |
| 27 | b | — | 8 | 19 | 9 | 3 |
| 28 | c | — | 10 | 20 | 11 | 4 |
| 29 | d | Ympryd. — | 12 | 21 | 13 | 5 |
| 30 | e | S. *Andrew*, — —(Ap. a M. | — | Act. 1 | — | 6 |

Nodwch, y darllenir * Eccl. 25. yn unig hyd w. 13. ac † Eccl. 30. yn unig hyd w. 18. ac ‡ Eccl. 46. yn unig hyd w. 20.

### HYDREF sydd iddo xxxi. o Ddyddiau.

| | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | 1 Llith. | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| 1 | A | Remig. E. — | Tobit 7 | Marc 4 | Tobit 8 | 1 Cor. 16 |
| 2 | b | — | 9 | 5 | 10 | 2 Cor. 1 |
| 3 | c | — | 11 | 6 | 12 | 2 |
| 4 | d | — | 13 | 7 | 14 | 3 |
| 5 | e | — | Judith 1 | 8 | Judith 2 | 4 |
| 6 | f | Ffydd, F. a M. | 3 | 9 | 4 | 5 |
| 7 | g | — | 5 | 10 | 6 | 6 |
| 8 | A | — | 7 | 11 | 8 | 7 |
| 9 | b | S. Denys, E. a M. | 9 | 12 | 10 | 8 |
| 10 | c | — | 11 | 13 | 12 | 9 |
| 11 | d | — | 13 | 14 | 14 | 10 |
| 12 | e | — | 15 | 15 | 16 | 11 |
| 13 | f | Edward, Br. — | Doeth. 1 | 16 | Doeth. 2 | 12 |
| 14 | g | —(a Chyff. — | 3 | Luc * 1 | 4 | 13 |
| 15 | A | — | 5 | 1 | 6 | Galat. 1 |
| 16 | b | — | 7 | 2 | 8 | 2 |
| 17 | c | Etheldr. F. — | 9 | 3 | 10 | 3 |
| 18 | d | S. *Luc*, Efang.- | — | 4 | — | 4 |
| 19 | e | — | 11 | 5 | 12 | 5 |
| 20 | f | — | 13 | 6 | 14 | 6 |
| 21 | g | — | 15 | 7 | 16 | Ephes. 1 |
| 22 | A | — | 17 | 8 | 18 | 2 |
| 23 | b | — | 19 | 9 | Eccl. 1 | 3 |
| 24 | c | — | Eccl. 2 | 10 | 3 | 4 |
| 25 | d | Crispin, M. — | 4 | 11 | 5 | 5 |
| 26 | e | — | 6 | 12 | 7 | 6 |
| 27 | f | Ympryd. — | 8 | 13 | 9 | Philip. 1 |
| 28 | g | S. *Simon* a — | — | 14 | — | 2 |
| 29 | A | —(S. *Judas*, | 10 | 15 | 11 | 3 |
| 30 | b | —(Ap. a M — | 12 | 16 | 13 | 4 |
| 31 | c | Ympryd. — | 14 | 17 | 15 | Colos. 1 |

Nodwch, y darllenir Luc * 1 hyd w. 39 y 14 dydd, ac oddi yno hyd y diwedd ar y 15ed. dydd.

### RHAGFYR sydd iddo xxxi. o Ddyddiau.

| | | | BOREOL Weddi. | | PRYDNH. Weddi. | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | | | 1 Llith. | 2 Lith. | 1 Llith. | 2 Lith. |
| 1 | f | — | Esay 14 | Act. 2 | Esay 15 | Hebr. 7 |
| 2 | g | — | 16 | 3 | 17 | 8 |
| 3 | A | — | 18 | 4 | 19 | 9 |
| 4 | b | — | 20, 21 | 5 | 22 | 10 |
| 5 | c | — | 23 | 6 | 24 | 11 |
| 6 | d | Nicolas, E. — | 25 | han. 7 | 26 | 12 |
| 7 | e | — | 27 | han. 7 | 28 | 13 |
| 8 | f | Ymdd. Mair F. | 29 | 8 | 30 | Iago 1 |
| 9 | g | — | 31 | 9 | 32 | 2 |
| 10 | A | — | 33 | 10 | 34 | 3 |
| 11 | b | — | 35 | 11 | 36 | 4 |
| 12 | c | — | 37 | 12 | 38 | 5 |
| 13 | d | Luci, F. a M. — | 39 | 13 | 40 | 1 Petr 1 |
| 14 | e | — | 41 | 14 | 42 | 2 |
| 15 | f | — | 43 | 15 | 44 | 3 |
| 16 | g | O Sapientia. — | 45 | 16 | 46 | 4 |
| 17 | A | — | 47 | 17 | 48 | 5 |
| 18 | b | — | 49 | 18 | 50 | 2 Petr 1 |
| 19 | c | — | 51 | 19 | 52 | 2 |
| 20 | d | Ympryd. — | 53 | 20 | 54 | 3 |
| 21 | e | S. *Thomas*, Ap. | — | 21 | — | 1 Ioan 1 |
| 22 | f | —(a M — | 55 | 22 | 56 | 2 |
| 23 | g | — | 57 | 23 | 58 | 3 |
| 24 | A | Ympryd. — | 59 | 24 | 60 | 4 |
| 25 | b | *Nad. Crist.* — | — | — | — | — |
| 26 | c | S. *Stephan*, M | — | — | — | — |
| 27 | d | S. *Ioan*, A. ac E. | — | — | — | — |
| 28 | e | *Gwirioniaid.* — | — | 25 | — | 5 |
| 29 | f | — | 61 | 26 | 62 | 2 Ioan |
| 30 | g | — | 63 | 27 | 64 | 3 Ioan |
| 31 | A | Sylfestr, E. — | 65 | 28 | 66 | Judas. |

Nodwch, y darllenir Act. 7. hyd w. 30. y chweched dydd, ac yno y dechreuir ar y 7fed. dydd.

# TABLAU A THREFNAU Y GWYLIAU

Symmudol a Disymmudol; ynghyd a'r Dyddiau YMPRYD ac Arbedrwydd, trwy 'r holl Flwyddyn.

## *TREFN i wybod pa bryd y mae'r Gwyliau Symmudol yn dechreu.*

DYDD *Pasg*, ar ba un y mae'r lleill yn sefyll, yw bob amser y *Sul* cyntaf wedi'r *Llawn Lleuad* a syrthio ar, neu a saf ar ol, yr Unfed dydd ar hugain o *Fawrth*. Ac os digwydd y *Llawn Lleuad* ar Ddydd *Sul*, *Dydd Pasg* yw y *Sul* ar ol.

Sul yr *Adfent* yw bob amser y Sul nesaf at Wyl S. *Andreas*, pa un bynnag ai cyn ai gwedi.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Sul | Septuagesima | sydd | Naw | Wythnos cyn y *Pasg*. |
| | Sexagesima | | Wyth | |
| | Cwinewagesima | | Saith | |
| | Cwadragesima | | Chwech | |

| | | | |
|---|---|---|---|
| Sul y Gweddïau | sydd | 5 Wythnos | gwedi'r *Pasg*. |
| Dydd y Dyrchafael | | 40 Nydd | |
| Y Sulgwyn | | 7 Wythnos | |
| Sul y Drindod | | 8 Wythnos | |

## *Tabl o'r holl* WYLIAU *y sydd i'w cadw yn Eglwys* Loegr *trwy'r Flwyddyn.*

YR holl Suliau yn y Flwyddyn.

Dydd Gwyl:
- Enwaediad ein Harglwydd *Iesu Grist*.
- Yr Ystwyll.
- Troad Sant *Paul*.
- Puredigaeth y Fendigedig Forwyn.
- S. *Matthias* yr Apostol.
- Cennadwri y Fendigedig Forwyn.
- S. *Marc* yr Efangylwr.
- S. *Philip* a S. *Iago* yr Apostolion.
- Dyrchafael ein Harglwydd *Iesu Grist*.
- S. *Barnabas*.
- Genedigaeth S. *Ioan Fedyddiwr*.
- S. *Petr* yr Apostol.

Dydd Gwyl:
- Sant *Iago* yr Apostol.
- S. *Bartholomeus* yr Apostol.
- S. *Matthew* yr Apostol.
- S. *Mihangel* yr Apostol.
- S. *Luc* yr Efangylwr.
- S. *Simon* a S. *Judas* yr Apostolion.
- Yr Holl Saint.
- S. *Andreas* yr Apostol.
- S. *Thomas* yr Apostol.
- Nadolig ein Harglwydd.
- S. *Stephan* y Merthyr.
- S. *Ioan* yr Efangylwr.
- Y Sancteiddlan Wirioniaid.

Dydd Llun a Dydd Mawrth *Pasg*.

Dydd Llun a Dydd Mawrth *Sulgwyn*.

## *Tabl o'r* NOS WYLIAU, YMPRYDIAU, *a Dyddiau Arbedrwydd, i'w cadw yn y Flwyddyn.*

Y Nos Wyl cyn:
- NADOLIG ein Harglwydd.
- Puredigaeth y Fendigedig *Fair* Forwyn.
- Cennadwri y Fendigedig Forwyn.
- Dydd *Pasg*.
- Dydd y *Dyrchafael*.
- Y Sulgwyn.
- Sant *Matthias*.

Y Nos Wyl cyn:
- Sant *Ioan Fedyddiwr*.
- S. *Petr*.
- S. *Iago*.
- S. *Bartholomëus*.
- S. *Matthew*.
- S. *Simon* a S. *Judas*.
- S. *Andreas*.
- S. *Thomas*.
- Yr Holl Saint.

Nodwch, *Os syrth rhyw un o'r Dyddiau Gwyliau hyn ar Ddydd Llun, yna'r Nos Wyl neu'r Ympryd a gedwir ar Ddydd Sadwrn, ac nid ar y Sul nesaf o'i flaen.*

## *Dyddiau Ympryd, neu Arbedrwydd.*

I. Y Deugain Nydd Garawys.

II. Dyddiau y Cyd-goriau, ar y Pedwar Tymmor; y rhai ynt Ddydd Mercher, Dydd Gwener, a Dydd Sadwrn. ar ol
1. y Sul cyntaf o'r Garawys.
2. Gwyl y Sulgwyn.
3. y 14 o *Fedi*.
4. y 13 o *Ragfyr*.

III. Tridiau y Gweddïau, y rhai yw Dydd Llun, Dydd Mawrth, a Dydd Mercher, o flaen Sanctaidd Ddydd Iau, neu Ddyrchafael ein Harglwydd.

IV. Pob Dydd Gwener yn y flwyddyn, ond *Dydd Nadolig Grist*.

## *Rhyw Ddyddiau arbennig, i'r rhai y trefnwyd Gweinidogaeth neillduol.*

I. Y Pummed Dydd o *Dachwedd*; sef Dydd Coffadwriaeth Cyd-Frad y Papistiaid.

II. Y Degfed Dydd ar hugain o *Ionawr*; sef Dydd Coffadwriaeth Merthyrolaeth Brenhin *Siarles* y Cyntaf.

III. Y Nawfed Dydd ar hugain o *Fai*; sef Dydd Coffadwriaeth Genedigaeth a Dychweliad y Brenhin *Siarles* yr Ail.

IV. Y pummed dydd ar hugain o *Hydref*; sef y Dydd y dechreuodd dedwyddol Deyrnasiad ei Fawrhydi, Brenhin *George* y Trydydd.

# Y COMMINASIWN;

Neu, Gyhoeddiad Digofaint a Barnedigaethau DUW yn erbyn Pechaduriaid: gyd a rhyw Weddiau i'w harfer ar y Dydd Cyntaf o'r *Garawys*, ac ar Amseerau eraill, pan drefno'r Ordinari.

¶ *Ar ol y Foreol Weddi, ar ddiwedd y Litani yn ol y modd arferedig, yr Offeiriad, yn y lle y darllenir y Gwasanaeth, neu yn y Pulpud, a ddywaid,*

Y Brodyr, yn y Brif Eglwys gynt, yr oedd Disgyblaeth dduwiol, nid amgen na bod yn nechreu'r Garawys, roi cyfryw Ddynion ag oeddynt Bechaduriaid cyhoedd, i Benyd cyhoedd, a'u poeni yn y byd yma, modd y byddai eu heneidiau gadwedig yn nydd yr Arglwydd; ac megis y gallai eraill, wedi eu rhybuddio trwy eu hesampl hwy, fod yn ofnusach i wneuthur ar gam. Yn lle hynny (hyd onid adnewydder y ddywededig Ddisgyblaeth, yr hyn a ddylid ei ddymuno yn fawr) fe dybiwyd fod yn dda, yr amser hwn (yn eich gŵydd chwi oll) ddarllain yr Ymadrodd cyffredin o Felldithion Duw yn erbyn Pechaduriaid anedifeiriol, y rhai a gasglwyd allan o'r seithfed bennod ar hugain o Ddeuteronomium, a lleoedd eraill o'r Ysgrythyr Lân; a bod i chwi atteb i bob ymadrodd, *Amen*: er mwyn, gwedi darfod felly eich rhybuddio am fawr Ddigllonder Duw yn erbyn Pechaduriaid, gallu eich gwahodd yn gynt i ddifrifol a gwir edifeirwch; a bod i chwi rodio yn ddïesgeulusach y dyddiau enbyd hyn; gan gilio oddi wrth gyfryw feiau ag yr ydych chwi yn sicrhâu â'ch geneuau eich hunain, fod melldith Dduw yn ddyledus am danynt.

MELLDIGEDIG yw'r neb a wnel ddelw gerfiedig neu doddedig, i'w haddoli. *Deut.* xxvii. 15.

¶ *A'r Bobl a attebant ac a ddywedant,* Amen.

*Gweinidog.* Melldigedig yw'r hwn a fellditlio ei dad neu ei fam. *Gwers* 16.

*Atteb.* Amen.

*Gweinidog.* Melldigedig yw'r hwn a symmudo derfyn tir ei gymmydog. *Gwers* 17.

*Atteb.* Amen.

*Gweinidog.* Melldigedig yw'r hwn a baro i'r dall gyfeiliorni allan o'i ffordd. *Gwers* 18.

*Atteb.* Amen.

*Gweinidog.* Melldigedig yw'r hwn a ŵyro farn y dieithr, yr amddifad, a'r weddw. *Gwers* 19.

*Atteb.* Amen.

*Gweinidog.* Melldigedig yw'r neb a darawo ei gymmydog yn ddirgel. *Gwers* 24.

*Atteb.* Amen.

*Gweinidog.* Melldigedig yw'r hwn a orweddo gyd â gwraig ei gymmydog. *Lef.* xx. 10.

*Atteb.* Amen.

*Gweinidog.* Melldigedig yw'r hwn a gymmero wobr er dieneidio gwirion. *Deut.* xxvii. 25.

*Atteb.* Amen.

*Gweinidog.* Melldigedig yw'r hwn a roddo ei ymddiried mewn dŷn, ac a gymmero ddyn yn ymddiffyn iddo, ac yn ei galon a gilio oddi wrth yr Arglwydd. *Jer.* xvii. 5.

*Atteb.* Amen.

*Gweinidog.* Melldigedig yw'r annhrugarog, y godinebus, a'r rhai a dorrant brïodas, a'r cybyddion, addolwŷr delwau, enllibwŷr, meddwon, a'r cribddeilwŷr. *Mat.* xxv. 41. 1 *Cor.* vi. 9, 10.

*Atteb.* Amen.

*Gweinidog.*

Psal. 119. 21. YN awr, yn gymmaint a'u bod hwy oll yn felldigedig (fel y tystia Dafydd Brophwyd) y rhai sy yn cyfeiliorni ac yn myned ar ddidro oddi wrth Orchymynion Duw; moeswch i ni (gan feddylio am y farn ofnadwy sydd goruwch ein pennau, ac fyth ger ein llaw) ymchwelyd at ein Harglwydd Dduw â chwbl gystudd, a gostyngeiddrwydd calon; gan ddwyn galar a thrymder dros ein buchedd bechadurus, gan gydnabod a chyffesu ein camweddau, a cheisio dwyn ffrwythau addas i edi-
feirwch. Canys yr awr hon y mae'r fwy- Mat. 3. 8,
all wedi ei gosod ar wreiddyn y preniau; 10.
fel y torrir i lawr, ac y bwrir yn tân, bob
pren nid yw yn dwyn ffrwyth da. Peth Heb. 10.
ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw 31.
byw! Efe a wlawia ar yr annuwiolion, Psal. 11. 6.
faglau, tân a brwmstan, a phoeth-wynt
ystormus: dyma ran eu phïol hwynt.
Canys wele, y mae'r Arglwydd yn dyfod Esay 26.
allan o'i fangre, i ymweled ag anwiredd 21.
preswylwŷr y ddaear. Ond pwy a oddef Mal. 3. 2.
ddydd ei ddyfodiad ef? a phwy a saif pan
ymddangoso efe? Ei wyntyll sydd yn ei Mat. 3. 12.
law: ac efe a lwyr-lanhâ ei lawr-dyrnu, ac
a gasgl ei wenith i'w ysgubor; eithr yr us
a lysg efe â thân anniffoddadwy. Dydd yr 1 Thess. 5.
Arglwydd a ddaw fel lleidr o hŷd nos: a 2, 3.
phan ddywedant, Tangnefedd, a dïogelwch; yna y mae dinystr disymmwth yn dyfod ar eu gwarthaf, megis gwewŷr esgor ar un a fo beichiog; ac ni ddïangant hwy
ddim. Yna yr ymddengys cynddaredd Rhuf. 2.
Duw yn y dydd digofaint, yr hwn a ddarfu 4, 5.
i'r pechaduriaid anhydyn ei bentyrru ar eu gwarthaf eu hunain, trwy gyndynrwydd eu calonnau; y rhai a ddïystyrent olud daioni, dïoddefgarwch, ac ymaros Duw, pan ydoedd efe yn eu galw hwy yn wastad
i edifeirwch. Yna y galwant arnaf (medd Diar. 1. 28,
yr Arglwydd) ond ni wrandawaf; y'm 29, 30.
ceisiant yn fore, ond ni'm cânt: a hynny, o herwydd mai cas fu ganddynt wybodaeth, ac ni ddewisasant ofn yr Arglwydd; ond casâu fy nghyngor, a dirmygu fy
nghospedigaeth. Yna y bydd rhŷ hwyr Mat. 25. 10,
curo, wedi cau'r drws; a rhŷ hwyr galw 11, 12.
am drugaredd, pan yw amser cyfiawnder. Och, mor aruthrol llef y farn gyfiawnaf a draethir arnynt hwy, pan ddywedir wrth-
ynt, Ewch, chwi y rhai melldigedig, i'r Mat. 25. 41.
tân tragywyddol, yr hwn a barottowyd i
ddiafol ac i'w angylion! Am hynny, 2 Cor 6. 2.
frodyr, ymochelwn yn brydol, tra parhao
dydd yr iachawdwriaeth: canys y mae'r Ioan 9. 4.
nos yn dyfod, pan na ddichon neb weith-
io. Eithr tra fyddo gennym oleuni, credwn Ioan 12.
yn y goleuni, a rhodiwn fel plant y go- 35, 36.
leuni; rhag ein bwrw i'r tywyllwch eithaf, lle y mae wylofain a rhingcian dan-
nedd. Na ddïystyrwn ddaioni Duw, yr Mat. 25.
hwn sydd yn ein galw yn drugarog i well- 30.
hâu; ac, o'i ddiddrangc dosturi, yn addaw i ni faddeuant am a aeth heibio, os nyni (â chwbl feddwl, ac â chalon gywir) a ddy-
chwelwn atto ef. Canys, er bod ein pech- Esay 1. 18.
odau ni cyn goched â'r ysgarlad, hwy a ant cyn wynned â'r eira; ac er eu bod fel y porphor, etto hwy fyddant cyn wynned
â'r gwlan. Dychwelwch a throwch (medd Ezec. 18.
yr Arglwydd) oddi wrth eich holl gam- 30, 31, 32.
weddâu, fel na byddo eich anwiredd yn dramgwydd i chwi. Bwriwch oddi wrthych eich holl gamweddau y camweddasoch ynddynt; a gwnewch iwch' galon newydd, ac yspryd newydd: canys paham, tŷ Israel, y byddwch feirw? canys nid oes ewyllys gennyf i farwolaeth y marw, medd

yr Arglwydd Dduw. Dychwelwch gan
1 Ioan 2. 1, 2. hynny, a byw fyddwch. Er darfod i ni
bechu, etto y mae i ni Eiriolwr gyd â'r
Tad, Iesu Grist y cyfiawn; ac efe yw'r
Esay 53. 5. iawn dros ein pechodau ni. Canys efe a
archollwyd am ein camweddau ni, ac a
ddrylliwyd am ein hanwireddau ni. Ymchwelwn
am hynny atto ef, yr hwn yw trugarog
dderbyniwr holl wir edifeiriol bechaduriaid;
gan gwbl-gredu ei fod ef yn barod
i'n derbyn, ac yn oreu ei ewyllys i
faddeu i ni, os deuwn atto mewn ffyddlawn
edifeirwch; os nyni a ymostyngwn
iddo, ac a rodiwn o hyn allan yn ei ffyrdd
Mat. 11. 29, 30. ef; os nyni a gymmerwn ei iau esmwyth
ef, a'i faich esmwyth arnom, i'w ganlyn
ef mewn gostyngeiddrwydd, dïoddefgarwch,
a chariad perffaith, a bod o honom
yn drefnedig wrth lywodraeth ei Yspryd
Glân ef; gan geisio yn wastad ei ogoniant,
a'i wasanaethu yn ddyladwy yn ein galwedigaeth,
gan ddïolch iddo. Os hyn a
wnawn, Crist a'n gwared ni oddi wrth
felldith y gyfraith, ac oddi wrth y felldith
eithaf a ddisgyn ar y sawl a fyddant ar y
Mat. 25. 33, 34. llaw aswy; ac efe a'n gesyd ni ar ei ddeheulaw,
ac a ddyry i ni wynfydedig fendith
ei Dad; gan orchymyn i ni gymmeryd
meddiant yn ei ogoneddus deyrnas: i'r
hon poed teilwng fo ganddo ein dwyn ni i
gyd oll, er ei anfeidrol drugaredd. Amen.

¶ *Yna y gostyngant bawb ar eu gliniau, a'r Offeiriad a'r Ysgolheigion ar eu gliniau (yn y fan lle maent arferedig a dywedyd y Litani) a ddywedant y Psalm hon.*

*Miserere mei, Deus.* Psalm li.

TRUGARHA wrthyf, O Dduw, yn ol dy drugarowgrwydd: yn ol llïaws dy dosturiaethau, dilea fy anwireddau.

Golch fi yn llwyr-ddwys oddi wrth fy anwiredd: a glanhâ fi oddi wrth fy mhechod.

Canys yr wyf yn cydnabod fy nghamweddau: a'm pechod sydd yn wastad ger fy mron.

Yn dy erbyn di, dydi dy hunan, y pechais, ac y gwneuthum y drwg hwn yn dy olwg: fel y'th gyfiawnhâer pan leferych, ac y byddit bur pan farnech.

Wele, mewn anwiredd y'm lluniwyd: ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf.

Wele, ceraist wirionedd oddi mewn: a pheri i mi wybod doethineb yn ddirgel.

Glanhâ fi ag isop, a mi a lanheir: golch fi, a byddaf wynnach nâ'r eira.

Par di i mi glywed gorfoledd a llawenydd: fel y llawenycho'r esgyrn a ddrylliaist.

Cuddia dy wyneb oddi wrth fy mhechodau: a dilea fy holl anwireddau.

Crea galon lân ynof, O Dduw: ac adnewydda yspryd uniawn o'm mewn.

Na fwrw fi ymaith oddi ger dy fron: ac na chymmer dy Yspryd Sanctaidd oddi wrthyf.

Dyro drachefn i mi orfoledd dy iachawdwriaeth: ac â'th hael Yspryd cynnal fi.

Yna y dysgaf dy ffyrdd i rai anwir: a phechaduriaid a droir attat.

Gwared fi oddi wrth waed, O Dduw, Duw fy iachawdwriaeth: a'm tafod a gân yn llafar am dy gyfiawnder.

Arglwydd, agor fy ngwefusau: a'm genau a fynega dy foliant.

Canys ni chwennychi aberth; pe amgen, mi a'i rhoddwn: poeth-offrwm ni fynni.

Aberthau Duw ydynt yspryd drylliedig: calon ddrylliog gystuddiedig, O Dduw, ni ddirmygi.

Gwna ddaioni yn dy ewyllysgarwch i Sïon: adeilada furiau Jerusalem.

Yna y byddi foddlon i ebyrth cyfiawnder, i boethoffrwm ac aberth llosg: yna yr offrymmant fustych ar dy allor.

Gogoniant i'r Tad, &c.

*Atteb.* Megis yr oedd yn y dechreu, &c.

Arglwydd, trugarhâ wrthym.

*Crist, trugarhâ wrthym.*

Arglwydd, trugarhâ wrthym.

EIN Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd; Sancteiddier dy Enw. Deued dy Deyrnas. Bid dy Ewyllys ar y ddaear, Megis y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, Fel y maddeuwn ni i'n dyledwyr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth; Eithr gwared ni rhag drwg: Canys eiddot ti yw'r Deyrnas, A'r Gallu, A'r Gogoniant, Yn oes oesoedd. Amen.

*Gweinidog.* Arglwydd, cadw dy wasanaeth-ddynion,

*Atteb.* Y rhai a ymddiriedant ynot.

*Gweinidog.* Anfon iddynt borth oddi uchod;

*Atteb.* Ac byth ymddiffyn hwy yn gadarn.

*Gweinidog.* Cymmorth nyni, O Dduw ein Iachawdwr;

*Atteb.* Ac er mwyn gogoniant dy Enw gwared ni: bydd drugarog wrthym bechaduriaid, er mwyn dy Enw.

*Gweinidog.* Arglwydd, gwrando ein gweddiau;

*Atteb.* A deued ein llef hyd attat.

*Gweinidog.* Gweddïwn.

O Arglwydd, ni a attolygwn i ti, yn drugarog gwrando ein gweddïau, ac arbed bawb a gyffesant eu pechodau wrthyt; fel y bo i'r rhai y cyhuddir eu cydwybodau gan bechod, trwy dy drugarog faddeuant fod yn ollyngedig, trwy Grist ein Harglwydd. *Amen.*

O Alluoccaf Dduw, a thrugaroccaf Dad, yr hwn wyt yn tosturio wrth bob dŷn, ac nid wyt yn casâu dim a'r a wnaethost, yr hwn nid ewyllysi farwolaeth pechadur, ond byw o hono, ac ymchwelyd oddi wrth ei bechod, a bod yn gadwedig; Yn drugarog maddeu i ni ein camweddau; a derbyn a chysura ni, y rhai ydym yn flin ac yn orthrwm gennym faich ein pechodau. Ti bïau o brïodolder drugarhâu yn wastad: i ti yn unig y perthyn maddeu pechodau. Arbed nyni am hynny, Arglwydd daionus, arbed dy bobl, y rhai a brynaist: na ddos i'r farn â'th weision, y rhai ŷm bridd gwael, a phechaduriaid truain; eithr ymchwel felly dy lid oddi wrthym, y rhai ŷm yn ostyngedig yn cydnabod ein gwaeledd, ac yn wir edifeiriol gennym ein beiau; ac felly brysia i'n cynnorthwyo ni yn y byd hwn, fel y byddom fyw byth gyd â thi yn y byd a ddaw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

¶ *Yna y dywaid y Bobl hyn yma sydd yn canlyn, ar ol y Gweinidog.*

YMCHWEL di ni, O Arglwydd daionus; ac yna yr ymchwelir ni. Ystyria, O Arglwydd, Ystyria wrth dy bobl, Y rhai sydd yn ymchwelyd attat trwy wylofain, ymprydio, a gweddïo. Canys Duw trugarog wyt ti, Yn llawn tosturi, Yn dda dy amynedd, Ac yn fawr dy wârder. Yr wyt yn arbed, pan ŷm ni yn haeddu poenau; Ac yn dy lid yr wyt yn meddwl am drugaredd. Arbed dy bobl, Arglwydd daionus, arbed hwy; Ac na ddyger dy etifeddiaeth i waradwydd. Clyw nyni, Arglwydd; Canys mawr yw dy drugaredd; Ac yn ol llïaws dy drugareddau edrych arnom, Trwy Haeddedigaethau a Chyfryngdod dy fendigedig Fab Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

¶ *Yna yr Offeiriad ei hun yn unig a ddywaid,*

BENDITHIED yr Arglwydd ni, a chadwed ni; dyrchafed yr Arglwydd lewyrch ei wyneb arnom, a rhodded i ni dangnefedd yr awr hon ac hyd byth bythoedd. *Amen.*

# FFURFIAU O WEDDI I'W HARFER AR Y MOR.

¶ *Y Foreol a'r Brydnhawnol Weddi i'w harfer beunydd ar y Môr, a fyddant yr un ag a osodwyd yn y Llyfr Gweddi Gyffredin.*

¶ *Y ddwy Weddi hyn hefyd yn canlyn a arferir yn Llynges ein Harglwydd Frenhin bob dydd.*

O Dragywyddol Arglwydd Dduw, yr hwn yn unig wyt yn tanu'r nefoedd, ac yn rheoli an-gerdd y Môr; yr hwn a amgylchaist y dyfroedd â therfynau, hyd oni ddarfyddo dydd a nos; Rhynged bodd it' ein derbyn ni dy weision, a'r Llynges yn yr hon yr ŷm yn gwasanaethu, i'th Holl-alluog a'th rasusaf Nodded. Cadw ni rhag perygl y Môr, a rhuthr y Gelyn; fel y byddom ymddiffyn i'n grasusaf Arglwydd Frenhin *GEORGE*, a'i Deyrnasoedd, ac yn ddïogelwch i'r sawl a gynniweiriant hŷd y Moroedd ar eu negeseuau cyfreithlawn; fel y bo i Breswylwŷr ein Hynys dy wasanaethu di ein Duw, mewn heddwch a llonyddwch; ac i ninnau ddychwel adref mewn dïogelwch i fwynhâu bendithion y wlad, gyd â ffrwyth ein llafur; ac mewn dïolchgar goffa am dy drugareddau, i foliannu a gogoneddu dy Enw bendigedig, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Y Colect.*

RHAGFLAENA ni, O Arglwydd, yn ein holl weithredoedd, *&c. megis ar ol y Cymmun.*

---

*Gweddïau i'w harfer yn amser Tymhestloedd ar y Môr.*

O Alluoccaf a gogoneddus Arglwydd Dduw, wrth orchymyn yr hwn y mae'r gwŷntoedd yn chwythu, ac yn dyrchafu tonnau'r Môr, a'r hwn wyt yn gostegu ei ryferthwy ef; Yr ŷm ni di greaduriaid, eithr pechaduriaid truain, yn ein dirfawr gyfyngder hwn, yn llefain arnat am dy gymmorth. Achub, Arglwydd; onid ê, darfu am danom. Tra'r oeddym yn ddïogel, ac yn gweled pob peth yn heddychol o'n hamgylch, yr ŷm yn cyffesu anghofio o honom dydi ein Duw, a gwrthod gwrando ar lef ddistaw dy Air di, ac ufuddhâu i'th Orchymynion. Eithr yr awrhon ni a welwn mor ofnadwy ydwyt ti yn dy holl weithredoedd rhyfedd; y Duw mawr i'w ofni goruwch oll: ac am hynny yr addolwn dy Dduwiol Fawredd, gan gydnabod dy allu, ac attolygu dy dosturi. Cymmorth, Arglwydd, ac achub ni, er dy drugareddau yng Nghrist Iesu dy Fab di, ein Harglwydd ni. *Amen.*

*Neu hon.*

O Dra-gogoneddus a grasusaf Arglwydd Dduw, yr hwn wyt yn preswylio yn y nef, eithr yn canfod pob peth isod; Edrych i lawr, ni a attolygwn i ti, a gwrando ni yn galw arnat o eigion trueni, ac o safn yr angau hwn sydd barod yr awrhon i'n trafllyngcu. Achub, Arglwydd; onid ê, darfu am danom. Y byw, y byw, efe a'th fawl di. O danfon air dy orchymyn i geryddu an-gerdd y Gwŷntoedd, a rhuad y Môr; fel, gan gael ein gwared allan o'r cyfyngderau yma, y byddom byw i'th wasanaethu di, ac i foliannu dy Enw holl ddyddiau'n bywyd. Gwrando, Arglwydd, ac achub ni, er anfeidrol ryglyddon ein gwŷnfydedig Iachawdwr dy Fab, ein Harglwydd Iesu Grist. *Amen.*

---

*Y Weddi a ddywedir o flaen Brwydr ar For, yn erbyn pob rhyw Elyn.*

O Alluoccaf ac Ardderchoccaf Arglwydd Dduw, Arglwydd y lluoedd, yr hwn wyt yn llywodraethu ac yn rheoli pob peth; Tydi wyt yn eistedd ar yr orseddfaingc, yn barnu yn gyfiawn. Am hynny y dyneswn at dy Ddwywol Fawredd yn ein hangenoctid hyn, ar fod i ti gymmeryd yr achos i'th law dy hun, a barnu rhyngom a'n Gelynion. Cyfod dy nerth, O Arglwydd, a thyred i'n cymmorth: canys nid wyt bob amser yn rhoddi y rhyfel i'r cedyrn; eithr ti a ddichon achub gyd â llawer, neu gyd ag ychydig. Och, na fydded i'n pechodau lefain yr awrhon i'n herbyn am ddïal; eithr gwrando ni dy weision truain, yn ymbil am dy drugaredd, ac yn eiriol am dy borth, ac am fod o honot yn ymddiffyn i ni rhag wyneb y Gelyn. Gwna yn hyspys mai tydi yw ein Hachubwr, a'n cadarn Waredwr ni, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

---

*Gweddïau byrion i rai neillduol, nad allant ymgyfarfod i gyssylltu mewn Gweddi ag eraill, o herwydd y Frwydr, neu'r Dymmestl.*

*Gweddïau cyffredinol.*

ARGLWYDD, trugarhâ wrthym ni bechaduriaid, ac achub ni er mwyn dy drugareddau.

Ti yw y Duw mawr, yr hwn a wnaethost ac a wyt yn llywio pob peth: O gwared ni er mwyn dy Enw.

Ti yw y Duw mawr, i'w ofni uwch law oll: O achub ni, fel y moliannom di.

---

*Gweddïau hyspysol o herwydd y Gelyn.*

TYDI, O Arglwydd, wyt gyfiawn a galluog: O ymddiffyn ein hachos yn erbyn wyneb y Gelyn.

O Dduw, tydi wyt gadarn dŵr ymddiffyn i bawb a ffoant attat: O achub ni rhag traha y Gelyn.

O Arglwydd y lluoedd, ymladd drosom, fel y gogoneddom di.

O na ad i ni suddo dan bwys ein pechodau, na thraha y Gelyn.

Arglwydd, cyfod, cymmorth ni, a gwared ni er mwyn dy Enw.

---

*Gweddïau byrion o ran y Dymmestl.*

TYDI, O Arglwydd, yr hwn wyt yn dyhuddo terfysg y Môr, gwrando, gwrando ni, ac achub ni, fel na'n cyfrgoller.

O fendigedig Iachawdwr, yr hwn a achubaist dy ddisgyblion, pan oeddynt ar ddibyn cyfrgolli gan dymmestl, gwrando ni, ac achub ni, ni a attolygwn i ti.

Arglwydd, trugarhâ wrthym.
Crist, trugarhâ wrthym.
Arglwydd, trugarhâ wrthym.
O Arglwydd, clyw nyni.
O Crist, clyw nyni.

Duw Dad, Duw Fab, Duw Yspryd Glân, trugarhâ wrthym, achub ni yr awrhon, ac yn dragywydd. Amen.

EIN Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd; Sancteiddier dy Enw, *&c.*

¶ *Pan fo Enbydrwydd yn gyfagos, cynnifer ag a aller eu hepcor oddi wrth Wasanaeth angenrheidiol yn y Llong, a elwir yngh ŷd, a hwy a wnant Gyffes ostyngedig i Dduw o'u Pechodau: yn yr hon y dylai pob un gymmeryd atto ei hun yn ddifrifol bob un o'r Pechodau hynny am y rhai y bo ei Gydwybod yn ei gyhuddo; gan ddywedyd fel y mae yn canlyn.*

*Y Gyffes.*

HOLL-alluog Dduw, Tad ein Harglwydd Iesu Grist, *&c. megis yn y Cymmun.*

¶ *Yna y datgan yr Offeiriau, os bydd un yn y Llong, y Gollyngdod hwn.*

HOLL-alluog Dduw, ein Tad nefol, yr hwn o'i fawr drugaredd, &c. *megis yn y Cymmun.*

---

## Diolwch ar ol Tymmestl.

*Jubilate Deo.* Psalm lxvi.

LLAWENFloeddiwch i Dduw : yr holl ddaear.

Datgenwch ogoniant ei Enw, &c.

Gogoniant i'r Tad, &c.

Megis yr oedd yn y dechreu, &c.

*Confitemini Domino.* Psalm cvii.

CLODFORWCH yr Arglwydd : canys da yw : o herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd, &c.

Gogoniant i'r Tad, &c.

Megis yr oedd yn y dechreu, &c.

---

*Colectau o Ddiolch.*

O Dra-bendigedig a gogoneddus Arglwydd Dduw, yr hwn wyt o anfeidrol ddaioni a thrugaredd; Nyni dy greaduriaid truain, y rhai a luniaist ac a gynheliaist ti, gan gadw yn fyw ein heneidiau, a'n hachub yr awrhon allan o safn angau, ŷm eilwaith yn ein cyflwyno ein hunain o flaen dy Dduwiol Fawredd, i offrymmu i ti aberth o foliant a diolwch, o herwydd i ti ein gwrando pan yn ein prînder y galwasom arnat, ac ni wrthodaist ymaith ein gweddi, a wnaethom ger dy fron di yn ein caeth gyfyngder : ïe, pan gyfrifem bob peth yn golledig, ein Llong, ein Da, ein Bywyd; yna tydi a edrychaist yn drugarog arnom, ac a orchymynaist Ymwared rhyfeddol; am yr hon yr ŷm ni, gwedi ein gosod yr awrhon mewn diogelwch, yn rhoddi yr holl foliant a'r gogoniant i'th Enw bendigedig, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Neu hon.*

O Alluoccaf Dduw, grasusol a daionus, y mae dy drugaredd goruwch dy holl weithredoedd; ond hi a estynwyd allan mewn modd hynod tu ag attom ni, y rhai mor ailuog ac mor rhyfeddol a ymddiffynaist. Ti a ddangosaist i ni bethau ofnadwy, a rhyfeddodau yn y dyfnder; fel y gwelem pa Dduw galluog a grasol ydwyt ti; mor ddigonol a pharod i gymmorth y sawl a ymddiriedant ynot. Ti a ddangosaist i ni y modd y mae'r Gwyntoedd a'r Moroedd yn ufuddhâu i'th Orchymyn; fel y dysgom, hyd yn oed ganddynt hwy, fod o hyn allan yn ostyngedig i'th Lais, a gwneuthur dy Ewyllys. O herwydd paham nyni a fendigwn ac a ogoneddwn dy Enw, am y cyfryw dy drugareddau yn ein hachub, pan oeddym ar ddibyn cyfrgoll. Ac yr ŷm yn attolwg i ti, gwna ni yr awrhon mor wir ystyriol o'th drugaredd, megis yr oeddym y pryd hwnnw o'r enbydrwydd : a dyro i ni galonnau parod bob amser i ddatgan ein diolchgarwch, nid ar air yn unig, eithr trwy ein buchedd hefyd, gan fod yn ufuddach i'th Orchymynion bendigedig. Estyn, attolwg, dy ddaioni hwn i ni; fel y bo i ni, y rhai a achubaist, dy wasanaethu mewn sancteiddrwydd ac uniondeb holl ddyddiau ein bywyd, trwy Iesu Grist ein Harglwydd a'n Iachawdwr. *Amen.*

---

*Emyn o Fawl a Diolchgarwch ar ol Tymmestl beryglus.*

DEUWCH, clodforwn yr Arglwydd ; canys da yw : a'i drugaredd a bery yn dragywydd.

Mawr yw'r Arglwydd, a thra moliannus : felly dyweded gwaredigion yr Arglwydd, y rhai a waredodd efe o an-wâr derfysg y môr.

Trugarog a graslawn yw'r Arglwydd : hwyr frydig i lid, a mawr o drugarowgrwydd.

Nid yn ol ein pechodau y gwnaeth efe â ni : ac nid yn ol ein hanwireddau y talodd efe i ni.

Canys cyfuwch ag yw'r nefoedd uwch law'r ddaear : y rhagorodd ei drugaredd ef tu ag attom ni.

Ing a blinder a gawsom : daethom hyd borth angau.

Dyfnoedd y môr oedd ar ino drosom : dyfroedd chwyddedig oeddynt ar fyned dros ein henaid.

Rhuodd y môr : a'r tymhestl-wynt a ddyrchafodd ei donnau ef.

Nyni a esgynasom megis i'r nefoedd ; disgynasom eilwaith i'r dyfnder : ein henaid a doddodd ynom gan flinder.

Yna y gwaeddasom arnat ti, O Arglwydd : tithau a'n dygaist allan o'n gorthrymder.

Bendigedig fyddo dy Enw, yr hwn ni ddirmygaist weddi dy weision : eithr gwrandewaist ar ein llef, ac achubaist ni.

Anfonaist allan dy air : gostegodd y gwŷnt ystormus, ac hi aeth yn dawel.

O bid i ninnau am hynny foliannu'r Arglwydd am ei ddaioni : a mynegi y rhyfeddodau a wnaeth, ac y mae yn wastad yn eu gwneuthur, i feibion dynion!

Moliannus fyddo'r Arglwydd beunydd : sef yr Arglwydd yr hwn sydd yn ein cymmorth, ac yn tywallt ei fendithion arnom.

Efe yw ein Duw ni, sef y Duw oddi wrth yr hwn y daw iachawdwriaeth : Duw yw yr Arglwydd, trwy yr hwn y diangasom rhag angau.

Tydi, Arglwydd, a'n llawenychaist ni â gweithred dy ddwylaw : ac ni a orfoleddwn yn dy foliant.

Bendigedig fyddo'r Arglwydd Dduw : sef yr Arglwydd Dduw, yr hwn yn unig sydd yn gwneuthur rhyfeddodau ;

A bendigedig fyddo Enw ei Fawredd ef byth : A dyweded pob un o honom, Amen, Amen.

Gogoniant i'r Tad, &c.

Megis yr oedd yn y dechreu, &c.

2 *Cor.* xiii. 13.

GRAS ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a chymdeithas yr Yspryd Glân, a fyddo gyd â ni oll byth bythoedd. *Amen.*

---

## Ar ol Buddugoliaeth, neu Ymwared oddi wrth y Gelyn.

¶ *Psalm neu Emyn o Fawl a Diolchgarwch ar ol Buddugoliaeth.*

ONI buasai'r Arglwydd yr hwn a fu gyd â ni, y gallwn ddywedyd yn awr : oni buasai'r Arglwydd yr hwn a fu gyd â ni, pan gyfododd dynion yn ein herbyn;

Yna y'n llyngcasent ni yn fyw : pan ennynodd eu llid hwynt i'n herbyn.

Yna y dyfroedd a lifasai drosom ni, y ffrwd a aethai dros ein henaid : yna'r aethai dros ein henaid ddyfroedd chwyddedig.

Eithr bendigedig fyddo'r Arglwydd : yr hwn ni'n rhoddodd ni yn ysglyfaeth i'w dannedd hwynt.

Yr Arglwydd a wnaeth iachawdwriaeth : nerthol i ni.

Nid â'n cleddyf ein hun y goresgynasom ; nid ein braich ein hun a barodd i ni iachawdwriaeth : eithr dy ddeheulaw di, a'th fraich, a llewyrch dy wyneb; o herwydd it' ein hoffi ni.

Yr Arglwydd a ymddangosodd drosom ni : yr Arglwydd a orchuddiodd ein pennau, ac a wnaeth i ni sefyll yn nydd y frwydr.

Yr Arglwydd a ymddangosodd drosom ni : yr Arglwydd a ddadymchwelodd ein gelynion, ac a ddrylliodd y rhai a godasant i'n herbyn.

O herwydd paham, nid i ni, O Arglwydd, nid i ni : ond i'th Enw di rhodder y gogoniant.

Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion : yr Arglwydd a wnaeth bethau mawrion i ni; am yr hyn yr ydym yn llawen.

Ein porth ni sydd yn Enw 'r Arglwydd : yr hwn a wnaeth nefoedd a daear.

Bendigedig fyddo Enw 'r Arglwydd : o'r pryd hwn hyd yn dragywydd.

Gogoniant i 'r Tad, *&c.*

Megis yr oedd yn y dechreu, *&c.*

¶ *Ar ol yr Emyn yma, gellir canu y* Te Deum.

*Yna y Colect hwn.*

O Holl-alluog Dduw, goruchel Lywiawdr yr holl fyd, yn llaw yr hwn y mae nerth a chadernid, na all neb sefyll i'w herbyn; Nyni a fendithiwn ac a fawrygwn dy Enw mawr a gogoneddus, am y Fuddugoliaeth lwyddiannus hon: yr holl ogoniant o honi a ddodwn i ti, yr hwn wyt unig Roddwr pob Goruchafiaeth. Ac nyni a attolygwn i ti, roddi i ni ras i ddyrchafu dy fawr Drugaredd hon i'th Ogoniant di, i fawrhâd dy Efengyl, i anrhydedd ein goruchel Arglwydd Frenhin, ac, hyd y bo ynom, i lesâd holl Ddynol-ryw. Ac ni a attolygwn i ti, roddi i ni y cyfryw ymsyniad o'th fawr Drugaredd hon, ag a'n rhwymo ni i wir ddïolchgarwch, a ymddangoso yn ein bucheddau, trwy ymarweddiad gostyngedig, sancteiddlan, ac ufudd, ger dy fron di dros ein holl ddyddiau, trwy Iesu Grist ein Harglwydd; i'r hwn, gyd â thi a'r Yspryd Glân, megis am dy holl Drugareddau, felly yn enwedig am yr Oruchafiaeth a'r Ymwared presennol, y byddo 'r holl ogoniant a'r anrhydedd, hyd yn oes oesoedd. *Amen.*

2 Cor. xiii. 13.

GRAS ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a chymdeithas yr Yspryd Glân, a fyddo gyd â ni oll byth bythoedd. *Amen.*

---

## Wrth Gladdu eu Meirw ar y Mor.

¶ *Gellir arfer y Gwasanaeth yn y Llyfr Gweddi Gyffredin; yn unig yn lle y geiriau hyn* [Gan hynny yr ym ni yn rhoddi ei Gorph ef i'r Ddaear, *&c.*] *dyweder,*

GAN hynny yr ŷm ni yn rhoddi ei Gorph ef i'r Dyfnder, i ddychwelyd i lygredigaeth; gan ddisgwyl am Adgyfodiad y Corph (pan fwrio'r Môr ei Feirw allan) a bywyd y byd y sydd ar ddyfod, trwy ein Harglwydd Iesu Grist; yr hwn ar ei Ddyfodiad a newidia ein Corph gwael ni, fel y byddo yn gyffelyb i'w Gorph gogoneddus ef, yn ol y galluog weithrediad, trwy'r hwn y dichon efe ddarostwng pob peth iddo ei hun.

---

# FFURF GWEDDI GYD A DIOLCH,

I'w harfer bob Blwyddyn ar y Pummed Dydd o *Dachwedd;* am ddedwyddol Achubiad y Brenhin *IAGO* I. a'Thair Ystad *Lloegr*, rhag y bradol a'r gwaedlyd Furudwrn a amcanasid trwy Bowdr Gwn: ac hefyd am ddedwyddol Ddyfodiad Ei Fawrhydi y Brenhin *WILIAM* ar y Dydd hwn, yn Ymwared i'n Heglwys a'n Cenedl.

¶ *Bid i Weinidog pob Plwyf roddi Rhybudd i'w Blwyfolion yn gyhoedd yn yr Eglwys, ar y Foreol Weddi, y* Sul *o'r blaen, am gadw yn barchus y Dydd dywededig. Ac wedi'r Foreol Weddi, neu'r Bregeth, ar y dywededig Bummed Dydd o* Dachwedd, *darllened ar osteg, yn ddosparthus ac yn eglur, yr Act Barliament a wnaethpwyd yn y Drydedd Flwyddyn o Deyrnasiad y Brenhin* Iago 'r *Cyntaf, am gadw 'r unrhyw.*

¶ *Yr un fydd y Gwasanaeth ag a arferir ar Ddyddiau Gwyl yn hollol; ond a drefnir isod yn amgenach.*

¶ *Os ar* Sul *y digwydd, yn unig y Colect priodol i'r* Sul *hwnnw a arddodir at y Gwasanaeth yma.*

¶ *Y Foreol Weddi a ddechreu a'r Adnodau hyn.*

TRUGAROG a graslawn yw 'r Arglwydd : hwyrfrydig i lid, a mawr o drugarowgrwydd. *Psalm* ciii. 8.

Nid byth yr ymryson efe : ac nid byth y ceidw efe ei ddigofaint. *Gwers* 9.

Nid yn ol ein pechodau y gwnaeth efe â ni : ac nid yn ol ein hanwireddau y talodd efe i ni. *Gwers* 10.

¶ *Yn lle* Venite, exultemus, *arferer yr Emyn hon sy'n canlyn; Gwers gan yr Offeiriad, a phob ail-wers gan y Clochydd a'r Bobl.*

CLODFORWCH yr Arglwydd : canys da yw : o herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd. *Psalm* cvii. 1.

*Felly dyweded gwaredigion yr Arglwydd : y rhai a waredodd efe o law y gelyn.* Gwers 2.

Llawer gwaith y'm cystuddiasant o'm ieuengctid : y dichon Israel ddywedyd yn awr. *Psalm* cxxix. 1.

*Llawer gwaith y'm cystuddiasant o'm ieuengctid : etto ni'm gorfuant.* Gwers 2.

Canys heb achos y cuddiasant eu rhwyd i mi mewn pydew : yr hwn heb achos a gloddiasant i'm henaid. *Psalm* xxxv. 7.

*Darparasant rwyd i'm traed; crymmwyd fy enaid : cloddiasant bydew o'm blaen; syrthiasant yn ei ganol.* Psalm lvii. 6.

Mawr yw ein Harglwydd, a mawr ei nerth : aneirif yw ei ddeall. *Psalm* cxlvii. 5.

*Yr Arglwydd sydd yn dyrchafu y rhai llariaidd : gan ostwng y rhai annuwiol hyd lawr.* Gwers 6.

Bydded dy law dros wr dy ddeheulaw : a thros fab dyn, yr hwn a gadarnheaist i ti dy hun. *Psalm* lxxx. 17.

*Felly ni chiliwn yn ol oddi wrthyt ti : bywhâ ni, ac ni a alwn ar dy Enw.* Gwers 18.

Gogoniant i'r Tad, ac i'r Mab : ac i'r Yspryd Glân;

*Megis yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac y bydd yn wastad : yn oes oesoedd. Amen.*

¶ *Psalmau priod.* LXIV, CXXIV, CXXV.

¶ *Llithiau priod.* { I. 2 Sam. XXII. *Te Deum.* / II. Act. XXIII. *Jubilate.* }

¶ *Yn y Gwersiclau ar ol y Credo, yr anghwaregion a arferir y rhai hyn dros y Brenhin.*

*Offeiriad.* Arglwydd, cadw y Brenhin.
*Pobl.* Yr hwn sydd yn ymddiried ynot.
*Offeiriad.* Anfon iddo borth o'th sancteiddfa.
*Pobl.* Ac byth yn nerthol ymddiffyn ef.
*Offeiriad.* Na ad i'w elynion gael y llaw uchaf arno.
*Pobl.* Na ad i'r enwir nesâu i'w ddrygu.

¶ *Yn lle'r Colect cyntaf o'r Foreol Weddi, yr arferir a ddau hyn.*

HOLL alluog Dduw, yr hwn ym mhob oes a ddangosaist dy nerth a'th drugareddau yngwarediad rhyfeddol a grasusol dy Eglwys, ac yn noddi cyfiawn a chrefyddol Frenhinoedd a Stadau yn proffesu dy sanctaidd a'th dragywyddol Wirionedd, rhag cydfwriadau maleisus ac ystrywiau drygionus eu holl elynion; Ni a roddwn i ti ein diffuant ddiolch a moliant, am ryfeddol a galluog waredigaeth ein diweddar rasusaf Arglwydd Frenhin *Iago* y Cyntaf, y Frenhines, y Tywysog, a'r holl Frig Brenhinol, gyd â Dyledogion, Eglwyswŷr, a Chyffredin *Lloegr*, yngynnulledig y pryd hwnnw ym Mharliament, wedi eu barnu, trwy ddichell y Pabyddion, megis defaid i'r lladdfa, mewn modd creulon a naws-wŷllt, tu hwnt

i bob esampl yn y cyn-oesoedd. Nid ein haeddiant ni, ond dy Drugaredd di, nid ein rhag-ddarbod ni, eithr dy Ragluniaeth di, a'n gwaredodd ni rhag yr amneidiol Gyd-fwriad hwn ac am hynny, nid i ni, O Arglwydd, nid i ni, ond i'th Enw di y rhodder yr holl anrhydedd a'r gogoniant yn holl Eglwysi'r Saint, o genhedlaeth i genhedlaeth, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

DERBYN hefyd, rasusaf Dduw, ein diolch diffuant am it' lenwi ein calonnau drachefn â llawenydd a gorfoledd, wedi'r amser y cystuddiaist ni, a rhoi canmad newydd yn ein geneuau, trwy ddwyn ei Fawrhydi, y Brenhin *Wiliam*, ar gyfer' i Heddyw, i wared ein Heglwys a'n Cenedl oddi wrth Draws lywodraeth a Chamrwysg Babaidd. Addolwn ddoeth ineb a chyfiawnder dy Ragluniaeth, a gyfryngodd mor amserol ar eithaf ein perygl, ac a siommodd holl fwriadau'n gelynion. Attolygwn i ti roi i ni'r cyfryw fywiol a pharhaus Ymsyniad o'r hyn a wnaethost erom yn, ac er, y pryd hwnnw, fel nad elom yn ddifraw ddiofal yn ein hufudd-dod, trwy ryfygu ar dy fawr a'th anhaeddedigol Ddaioni; eithr tywys o hono ni i edifeirwch, a'n cynhyrfu i fod yn fwy en diwydrwydd a'n hawydd-fryd yn holl ddyledswyddau'n Crefydd, a ge lwaist i ni yn rhyfeddol. Blodeued felly yn ein plith wirionedd a chyfiawnder, mwyneidd-dra brawdol a chariad perffaith, duwioldeb a dywosiwn, undeb a chyd-gordiad, a phob rhinweddau eraill, fel y bont yn wastadfod ein hamseroedd, i wneud yr Eglwys hon yn Fawl ar y ddaear. Hyn oll a ufudd-erfyniwn ni er mwyn ein Harglwydd a'n Iachawdwr bendigedig. *Amen.*

¶ *Ar ddiwedd y Litani (a arferir yn wastad ar y Dydd hwn) ar ol y Colect* [Ni a attolygwn i ti, O Dad, &c.] *y dywedir hyn y sydd yn canlyn.*

HOLL-alluog Dduw a nefol Dad, yr hwn o'th rasol Ragluniaeth, a'th dyner Drugaredd tu ag attom, a ragflaenaist falais a dychymygion ein gelynion, trwy ddatguddio a gwaradwyddo eu bwriad erchyll ac ysgeler, a gyd-fwriadasent ac a amcanasent ei ddwyn i ben y Dydd heddyw yn erbyn y Brenhin, a holl Ystâd *Loegr*, er dymchweliad y Llywodraeth a'r Grefydd a sefydlwyd yn ein plith; ac Heddyw hefyd a dywysaist yn rhyfeddol dy was y Brenhin *Wiliam*, ac a'i dygaist e 'n ddiogel i *Loegr*, i'n cadw rhag diweddar ymgais ein gelynion i'n difuddio ni o'n Crefydd a'n Cyfreithiau: Nyni yn ostyngeiddiaf ydym yn moliannu ac yn mawrygu dy Enw gogoneddus, am dy anfeidrol radlawn Ddaioni hyn tu ag attom a amlygaist yn y ddeu-dwrn hyn o'th Drugaredd. Yr ŷm yn cydnabod mai dy Drugaredd di yn unig ydoedd, na'n difethwyd: canys yr oedd ein pechodau yn llefain hyd y nef i'n herbyn; a'n hanwireddau yn deilwng yn galw am ddial arnom. Eithr tydi ni wnaethost â ni yn ol ein pechodau, ac ni obrwyaist ni yn ol ein hanwireddau, ac ni'n traddodaist ni, fel yr haeddasom, i fod yn ysglyfaeth i'n gelynion; eithr yn dy Drugaredd a'n gwaredaist ni rhag eu malais hwynt, ac a'n hachubaist rhag angau a distryw. Trwy ystyried o honom dy Ddaioni hwn, O Arglwydd, gweithreda ynom wir edifeirwch, fel na bo ein hanwiredd yn dramgwydd i ni. Ac anghwanega ynom fwyfwy ffydd fywiol, a chariad ffrwythlawn ym mhob ufudd-dod sanctaidd; fel y bo it' gynnal dy ffafr, ynghyd â llewyrch dy Efengyl, i ni ac i'n heppil yn dragywydd; a hynny er mwyn dy anwyl Fab Iesu Grist ein hunig Gyfryngwr a'n Dadleuwr. *Amen.*

¶ *Yn lle'r Weddi* [Ar amser Rhyfel a Therfysgau] *arferir y Weddi hon sy'n canlyn.*

O Arglwydd, yr hwn Heddyw a ddatguddiaist faglau angau, a danasid i ni, ac yn rhyfeddol a'n gwaredaist oddi wrthynt; Bydd di yn wastad yn Noddwr galluog i ni, a gwasgar ein gelynion a sychedant am waed: tro eu cynghorion yn ffolineb, a diddymma hwynt; gostwng eu balchder, tola eu drygioni, a gwaradwydda eu bwriadau. Nertha ddwylaw ein grasusaf Frenhin *GEORGE*, a phawb a sy wedi eu gosod mewn Awdurdod dano, i dorri ymaith trwy farn a chyfiawnder gymmaint oll o weithredwŷr anwiredd, ag a droant Grefydd yn Wrthryfel, a Ffydd yn Derfysg; fel na chaffont byth y llaw uchaf arnom, ac na orfoleddont yn ninystr dy Eglwys yn ein plith: eithr trwy fod ein grasusaf Frenhin a'i Deyrnasoedd yn ymgyttunol yn dy wir Grefydd, a thrwy dy radol Ddaioni yn cael eu noddi yn yr unrhyw, allu o honom ni oll dy wasanaethu di yn ddyledus, a rhoddi i ti ddiolch yn dy sancteiddlan Gynnulleidfa, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

¶ *Yngwasanaeth y Cymmun, yn lle Colect y Dydd, yr arferir hwn sy'n canlyn.*

TRAGYWYDDOL Dduw, a'n galluoccaf Noddwr, yr ŷm ni dy weision annheilwng yn ostyngedig yn ein cyflwyno ein hunain ger bron dy Fawredd, gan gydnabod dy Allu, dy Ddoethineb, a'th Ddaioni, yn cadw yn ddiangol y Brenhin, a Thair Ystâd *Loegr*, ymgynnulledig ym Mharliament, rhag y Distryw a fwriadasid heddyw i'w herbyn. Gwna ni, ni a attolygwn i ti, yn wir ddiolchgar am hon a'th holl Drugareddau mawrion eraill tu ag attom; yn benodol am ail-wneud y Dydd hwn yn gofus trwy arwydd newydd o'th garedigrwydd tu ag attom. Bendithiwn di am roddi i'w ddiweddar Fawrhydi y Brenhin *Wiliam* ddiogel Ddyfodiad yma, ac am wneud i bob Gwrthgais syrthio o'i flaen ef, hyd onid aeth e'n Frenhin a Llywydd arnom. Cadw ac ymddiffyn ein goruchaf Arglwydd Frenhin *GEORGE*, a'r holl Welygordd Frenhinol, rhag pob Brad a Chyd-fwriad; Cynnal ef yn dy Ffydd, Ofn, a Chariad; Llwydda ei Deyrnasiad â hir Ddedwyddwch yma ar y ddaear; ac ar ol hyn corona ef â Gogoniant tragywyddol yn nheyrnas nef, trwy Iesu Grist ein hunig Iachawdwr a'n Prynwr. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Ymddarostynged pob enaid. *Rhuf.* xiii. gwers 1. hyd wers 8.

*Yr Efengyl.*

A bu, pan gyflawnwyd y dyddiau. S. *Luc* ix. gwers 51. hyd wers 57.

¶ *Ar ol y Credo, oni bydd Pregeth, y darllenir un o'r chwe Homili yn erbyn Gwrthryfel.*

¶ *Darllener yr Adnod hon ar yr Offrymiad.*

PA bethau bynnag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy: canys hyn yw'r gyfraith a'r prophwydi. S. *Matth.* vii. 12.

¶ *Ar ol y Weddi dros yr Eglwys filwrus, arferer y Weddi hon sy'n canlyn.*

DUW, yr hwn y mae dy Enw yn ardderchog ar yr holl ddaear, a'th Ogoniant uwch y nefoedd; yr hwn a gedwaist Heddyw yn rhyfeddol ein Heglwys a'n Gwladwriaeth oddi wrth ddirgel ddyfais ac uffernol falais Cyd-fradwŷr Pabaidd; ac ar gyfer' i Heddyw hefyd a ddechreuaist roi i ni nerthol ymwared rhag amlwg Draws-lywodraeth a Gorthrech yr unrhyw elynion creulon a gwaed fryd; Ni a fendithiwn ac a addolwn dy ogoneddus Fawredd, fel am y cyntaf, felly am dy ryfeddol garedigrwydd diweddar hwn i'n Heglwys a'n Cenedl, yn ymddiffyn ein Crefydd a'n Breintiau. Ac ufudd-weddïwn ar i dduwiol ymsyniad ar dy ad-roddedig Drugaredd hon adnewyddu a chynnyddu ynom yspryd o gariad a diolchgarwch i ti yr unig Awdur; yspryd o heddychol ymostyngiad ac ufudd-dod i'n grasol oruchaf Arglwydd Frenhin *GEORGE;* ac yspryd o gariad gwresog i'n Crefydd sanctaidd, a achubaist ti'r awrhon eilwaith mor rhyfeddol, ac a'i sefydlaist yn fendith i ni ac i'n heppil. A hyn a erfyniwn ni er mwyn Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

# FFURF GWEDDI GYD AG YMPRYD,

I'w harfer bob Blwyddyn ar y Degfed ar hugain o *Ionawr*; sef, Dydd Merthyrolaeth y Gwynfydedig Frenhin *Siarles* y Cyntaf: i erfyn Trugaredd DUW, na byddo nac i Euogrwydd y Gwaed gwirion diniweid hwnnw, na'r Pechodau eraill, trwy ba rai y cyffrowyd DUW i'n traddodi ni a'n Brenhin i ddwylaw Dynion creulon ac ysgeler, gael eu hymweled un amser rhag llaw, arnom ni, na'n Heppil.

¶ *Os ar Sul y digwydd y Dydd hwn, y Ffurf hon o Weddi a arferir, a'r Ympryd a gedwir, Drannoeth. Ac ar Ddydd yr Arglwydd nesaf o flaen y Dydd i'w gadw, ar y Foreol Weddi, yn ebrwydd ar ol Credo* Nicea, *y rhybudd a'r am gadw yn barchus yr unrhyw Ddydd.*

¶ *Yr un fydd y Gwasanaeth ar y Dydd ag a arferir ar Ddyddiau-gwyl yn hollol; ond am a osodir isod yn amgenach.*

---

# Y DREFN AM WEDDI FOREOL.

¶ *Y Gweinidog a ddechreu ag un neu ychwaneg o'r Ymadroddion hyn.*

GAN yr Arglwydd ein Duw y mae trugareddau a maddeuant, er gwrthryfelu o honom i'w erbyn: ni wrandawsom chwaith ar lais yr Arglwydd ein Duw, i rodio yn ei gyfreithiau ef y rhai a roddodd efe o'n blaen ni. *Dan.* ix. 9, 10.

Cospa ni, Arglwydd, etto mewn barn; nid yn dy lid: rhag it' ein gwneuthur yn ddiddym. *Jer.* x. 24.

Arglwydd, na ddos i farn â'th weision: o herwydd ni chyfiawnheir neb byw yn dy olwg di. *Psal.* cxliii. 2.

¶ *Yn lle* Venite, exultemus, *dyweder neu ganer yr Emyn sydd yn canlyn; un Wers gan yr Offeiriad, a phob ail gan y Clochydd a'r Bobl.*

CYFIAWN ydwyt ti, O Arglwydd: ac uniawn yw dy farnedigaethau! *Psal.* cxix. 137.

*Ti ydwyt gyfiawn yn yr hyn oll a ddigwyddodd i ni: canys gwirionedd a wnaethost ti, a ninnau a wnaethom yn annuwiol.* Neh. ix. 33.

Minnau, braidd na lithrodd fy nhraed: prin na thripiodd fy ngherddediad. *Psal.* lxxiii. 2.

*Canys cynfigennais wrth y rhai ynfyd: pan welais lwyddiant y rhai annuwiol.* Gwers 3.

Y mae brenhinoedd y ddaear yn ymosod, a'r pennaethiaid yn ymgynghori ynghŷd: yn erbyn yr Arglwydd, ac yn erbyn ei Grist ef. *Psal.* ii. 2.

*Canys ymgynghorasant yn unfryd: ac ymwnaethant i'w erbyn.* Psal. lxxxiii. 5.

Efe a glywodd ogan llaweroedd; dychryn oedd o bob parth: pan gyd-ymgynghorasant yn ei erbyn ef, y bwriadasant ei ddieneidio. *Psal.* xxxi. 13.

*A thafodau celwyddog y llefarasant i'w erbyn; cylchynasant ef hefyd â geiriau cas: ac ymladdasant ag ef heb achos.* Psal. cix. 2, 3.

Ië, hefyd y gŵr oedd anwyl ganddo ef, yn y rhai yr ymddiriedodd: ac a fwyttaodd ei fara, a ddyrchafodd eu sawdl i'w erbyn. *Psal.* xli. 9.

*Talasant iddo ef ddrwg dros dda: i yspeilio ei enaid.* Psal. xxxv. 12.

Ymgynghorasant yn unfryd, gan ddywedyd, Duw a'i gwrthododd ef: erlidiwch a deliwch ef; canys nid oes gwaredydd. *Psal.* lxxi. 10, 11.

*Anadl ein ffroenau, Enneiniog yr Arglwydd, a ddaliwyd yn eu rhwydau hwynt: am yr hwn y dywedasom, Dan ei gysgod ef y byddwn ni byw.* Galar. iv. 20.

Y gwrthwynebwr a'r gelyn a ddaethant i byrth Caersalem; gan ddywedyd, Pa bryd y bydd efe farw, ac y derfydd am ei enw ef? *Galar.* iv. 12. *Psal.* xli. 6.

*Afiwydd, meddant, a lŷn wrtho: a chan ei fod yn gorwedd, ni chyfyd mwy.* Gwers 8.

Tystion gau a gyfodasant i'w erbyn: holasant iddo ef yr hyn ni's gwyddai oddi wrtho. *Psal.* xxxv. 11.

*Am bechodau'r bobl, ac anwired yr offeiriaid: y tywalltasant waed y cyfiawn ynghanol Caersalem.* Galar. iv. 13.

Na ddeled fy enaid i'w cyfrinach hwynt; fy ngogoniant, na fydd un â'u cynnulleidfa hwynt: canys yn eu dig y lladdasant wr. *Gen.* xlix. 6.

*Sef gŵr dy ddeheulaw: Mab y dŷn, yr hwn a gadarnheaist i ti dy hun.* Psal. lxxx. 17.

Yngolwg y rhai angall yr oedd efe yn marw: a drwg y cyfrifent ei ddiwedd ef. *Doeth.* iii. 2.

*Hwynt-hwy ffyliaid a feddyliasant fod ei fuchedd ef yn ynfydrwydd, a'i ddiwedd yn ammharchus: eithr y mae efe mewn tangnefedd.* Doeth. v. 4. a iii. 3.

Oblegid er ei gystuddio yngolwg dynion: etto'r oedd ei obaith yn llawn tragywyddoldeb. *Doeth.* iii. 4.

*Pa fodd y cyfrifir ef ym mhlith meibion Duw: ac y mae ei ran ef ym mysg y saint!* Doeth. v. 5.

Ond, O Arglwydd Dduw'r dïal, O Dduw'r dïal: gwna ddaioni yn dy ewyllysgarwch i Sïon. *Psal.* xciv. 1. a li. 18.

*Bydd drugarog, O Arglwydd, wrth dy bobl, y rhai a brynaist: ac na ddyro euogrwydd gwaed gwirion yn ein herbyn.* Deut. xxi. 8.

O! na chasgl ein heneidiau gyd â phechaduriaid: na'n bywyd gyd â dynion gwaedlyd! *Psal.* xxvi. 9.

*Gwared ni oddi wrth waed, O Dduw, tydi yr hwn wyt Dduw ein iachawdwriaeth: a'n tafod a gân yn llafar am dy gyfiawnder.* Psal. li. 14.

O herwydd nid wyt ti Dduw yn ewyllysio anwiredd: a drwg ni thrig gyd â thi. *Psal.* v. 4.

*Difethi y rhai a ddywedant gelwydd: yr Arglwydd a ffieiddia y gŵr gwaedlyd a'r twyllodrus.* Gwers 6.

Mor ddisymmwth yr aethant yn anghyfannedd! pallasant, a darfuant gan ofn! *Psal.* lxxiii. 19.

*Fel breuddwyd, wrth ddihuno un: felly, O Arglwydd, pan ddeffroech y dirmygi eu gwedd hwynt o'r dinas.* Gwers 20.

Mawr a rhyfedd yw dy weithredoedd, O Arglwydd Dduw Holl-alluog: cyfiawn a chywir yw dy ffyrdd di Brenhin y saint! *Dat.* xv. 3.

*Cyfiawn ydwyt ti, O Arglwydd: ac uniawn yw dy farnedigaethau.* Psal. cxix. 137.

Gogoniant i'r Tad, &c.

*Megis yr oedd yn y dechreu*, &c.

¶ *Psalmau priod.* IX, X, XI.

¶ *Llithiau priod.* { I. 2 Sam. I. *Te Deum.* II. S. Matth. XXVII. *Jubilate.* }

¶ *Yn lle y Colect cyntaf ar y Foreol Weddi, yr arferir y ddau hyn sy nesaf yn canlyn.*

O Alluoccaf Dduw, ofnadwy yn dy farnedigaethau, a rhyfeddol yn dy weithredoedd tu ag at feibion dynion; yr hwn yn dy dost ddigllonedd a oddefaist (megis ar y Dydd heddyw) dorri ymaith fywyd ein diweddar rasol Arglwydd Frenhin *Siarles*

y Cyntaf, trwy ddwylaw dynion ysgeler a gwaedlyd: Nyni dy greaduriaid pechadurus, yngynnulledig yma ger dy fron, ydym, yn enw holl drigolion y deyrnas hon, yn ostyngedig yn cyfaddef, mai pechodau mawrwaedd y Genedl yma oedd yr achos o ddwyn i lawr y farnedigaeth drom hon arnom. Eithr, O Dduw grasusol, pan ymofynech am waed, na ddyro euogrwydd y gwaed gwirion hwn (tywalltiad pa un nid oes dim ond gwaed dy Fab di a all ei ddiwygio) na ddyro mo hono ar gyfrif pobl y tir hwn; ac na ofyner ef byth gennym ni, na'n heppil. Trugarhâ, O Arglwydd, trugarhâ wrth dy bobl y rhai a brynaist; ac na lidia wrthym yn dragywydd: eithr maddeu i ni er mwyn dy drugareddau, trwy ryglyddon dy Fab ein Harglwydd Iesu Grist. *Amen.*

BENDIGEDIG Arglwydd, yngolwg yr hwn gwerthfawr yw marwolaeth dy Saint; Ni a fawrygwn dy Enw, am dy aml ras a roddaist i'n diweddar Arglwydd Frenhin a ferthyrwyd; trwy'r hwn y nerthwyd ef mor gysurus i ddilyn camrau ei wynfydedig Feistr a'i Iachawdwr, mewn dïysgog addfwyn oddefiad o bob ammharchiadau creulon, ac yn y diwedd yn gwrthwynebu hyd at waed; a'r pryd hwnnw hefyd, yn ol yr un esampl, yn eirioli dros ei ddihenyddwyr. Bydded ei goffadwriaeth ef, O Arglwydd, byth yn fendigedig yn ein plith; fel y gallom ninnau ddilyn esampl ei wroldeb a'i ddïanwadalwch, ei ostyngeiddrwydd a'i amynedd, a'i fawr gariad ef. A chaniattâ i'n gwlad hon fod yn rhydd oddi wrth ddïal am ei waed cyfiawn ef, a'th drugaredd gael ei gogoneddu ym maddeuant ein pechodau; a'r cwbl er mwyn Iesu Grist, ein hunig Gyfryngwr a'n Dadleuwr. *Amen.*

¶ *Ar ddiwedd y Litani (a arferir yn wastad ar y Dydd hwn) ar ol y Colect* [Ni a attolygwn i ti, O Dad, &c.] *y darllenir y tri Cholect hyn.*

O Arglwydd, ni a attolygwn i ti, yn drugarog gwrando ein gweddïau, ac arbed bawb a gyffesant eu pechodau wrthyt; fel y bo i'r rhai y cyhuddir eu cydwybodau gan bechod, trwy dy drugarog faddeuant fod yn ollyngedig, trwy Grist ein Harglwydd. *Amen.*

O Alluoccaf Dduw, a thrugaroccaf Dad, yr hwn wyt yn tosturio wrth bob dyn, ac nid wyt yn casâu dim o'r a wnaethost; yr hwn nid ewyllysi farwolaeth pechadur, ond byw o hono, ac ymchwelyd oddi wrth ei bechod, a bod yn gadwedig: Yn drugarog maddeu i ni ein camweddau; derbyn a chysura ni, y rhai ydym yn flin ac yn orthrwm gennym faich ein pechodau. Ti bïau o brïodolder drugarhâu yn wastad; i ti yn unig y perthyn maddeu pechodau. Arbed nyni gan hynny, Arglwydd daionus, arbed dy bobl y rhai a brynaist: na ddos i'r farn â'th weision, y rhai ŷnt bridd gwael, a phechaduriaid truain; eithr ymchwel felly dy lid oddi wrthym, y rhai ŷm yn ostyngedig yn cydnabod ein gwaeledd, ac yn wir edifeiriol gennym ein beiau; ac felly brysia i'n cynnorthwyo ni yn y byd hwn, fel y byddom fyw byth gyd â thi yn y byd a ddaw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

YMCHWEL di ni, O Arglwydd daionus; Ac yna yr ymchwelir ni. Ystyria, O Arglwydd, Ystyria wrth dy bobl, Y rhai sydd yn ymchwelyd attat trwy wylofain, ymprydio, a gweddïo. Canys Duw trugarog wyt ti, Yn llawn tosturi, Yn dda dy amynedd, Ac yn fawr dy wârder. Yr wyt yn arbed, pan ŷm ni yn haeddu poenau; Ac yn dy lid yr wyt yn meddwl am drugaredd. Arbed dy bobl, Arglwydd daionus, arbed hwy, Ac na ddyger dy etifeddiaeth i waradwydd. Clyw nyni, Arglwydd; Canys mawr yw dy drugaredd; Ac yn ol lliaws dy drugareddau edrych arnom, Trwy haeddedigaethau a chyfryngdod dy fendigedig Fab Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

¶ *Yngwasanaeth y Cymmun, yn nesaf ar ol y Weddi dros y Brenhin* [Holl-alluog Dduw, yr hwn sydd a'i Deyrnas yn dragywyddol, &c.] *yn lle'r Colect am y Dydd, yr arferir y ddau Golect yma.* O Alluoccaf Dduw ofnadwy, &c. Bendigedig Arglwydd, &c. *fel yn y Weddi Foreol.*

*Yr Epistol.*

Ymddarostyngwch oblegid hyn. 1 S. *Petr* ii. gwers 13. hyd wers 23.

*Yr Efengyl.*

Yr oedd rhyw ddyn o berchen tŷ. S. *Matth.* xxi. gwers 33. hyd wers 42.

¶ *Ar ol Credo* Nicea *y darllenir, yn niffyg Pregeth i'r Diwrnod hwnnw, y rhan gyntaf a'r ail o'r Homili, a osodwyd allan trwy Awdurdod, yn erbyn Anufudddod a Gwrthryfel; neu pregethed y Gweinidog, yr hun a fo'n gwasanaethu, Bregeth o'i wneuthuriad ei hun ar yr unrhyw Destun.*

¶ *Yn yr Offrymiad y darllenir yr Adnod hon.*

PA bethau bynnag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy: canys hyn yw'r gyfraith a'r prophwydi. S. *Matth.* vii. 12.

¶ *Ar ol y Weddi* [Dros holl Ystâd Eglwys Grist, &c.] *yr arferir y ddau Golect yma sydd yn canlyn.*

O Arglwydd ein Tad nefol, yr hwn ni chospaist ni hyd yr haeddai ein pechodau, eithr yng nghanol barn a gofiaist drugaredd; Yr ydym ni yn cydnabod mai dy ragorol ffafr di ydoedd, er i ti, am ein haral a'n dirfawr annogaethau, oddef i'th Enneiniog, y bendigedig Frenhin *Siarles* y Cyntaf, syrthio (megis ar y Dydd heddyw) i ddwylaw dynion ysgeler a gwaedlyd, ac ar fodd creulon ei ladd ef ganddynt: etto ni'n gadewaist ni dros fyth, megis defaid heb fugail iddynt; eithr yn dy rasol Ragluniaeth a gedwaist yn rhyfedd ddilys Etifedd ei Goron ef, ein grasusaf Arglwydd Frenhin y pryd hwnnw, *Siarles* yr Ail, rhag ei elynion gwaedlyd, gan ei guddio ef dan gysgod dy adenydd, hyd onid aeth eu Camrwysg hwynt heibio; ac yn dy ddaionus amser gosodedig a'i dygaist ef yn ol, i eistedd ar Orseddfaingc ei Dad; a chyd â'r Brenhinol Deulu, a adferaist i ni ein hen Lywodraeth Wledig ac Eglwysig. Am y rhai hyn dy fawr a'th annhraethadwy Drugareddau, ni a dalwn i ti ein gostyngeiddiaf ddïolch o eigion ein calonnau; gan attolygu i ti yn wastad barhâu dy rasol nodded dros yr holl Frenhinol Deulu, a chaniattâu i'n grasusaf Frenhin *GEORGE* hir a llwyddiannus Deyrnasiad arnom ni: a ninnau dy bobl a'th foliannwn yn dragywydd, ac a ddatganwn dy Foliant o genhedlaeth i genhedlaeth byth, trwy Iesu Grist ein Harglwydd a'n Iachawdwr. *Amen.*

A Chaniattâ, Arglwydd, ni a attolygwn i ti, fod i chwyl y byd hwn, trwy dy Reoledigaeth di, gael ei drefnu mor dangnefeddol, ag y gallo dy Eglwys di dy wasanaethu yn llawen ym mhob duwiol heddwch, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

## Y DREFN AM BRYDNHAWNOL WEDDI.

¶ *Yr Emyn osodedig i'w harfer ar y Foreol Weddi, yn lle* Venite, exultemus, *a arferir yma hefyd o flaen y Psalmau priod.*

Cyfiawn ydwyt ti, O Arglwydd, *&c.*

¶ *Psalmau priod.* LXXIX, XCIV; LXXXV.

¶ *Llithiau priod.* { I. Jer. XII. neu Dan. IX. hyd wers 22.
II. Heb. XI. 32. a'r XII. hyd wers 7. }

¶ *Yn lle'r Colect cyntaf ar y Brydnhawnol Weddi, yr arferir y ddau yma sydd nesaf yn canlyn.*

O Fendigedig Arglwydd Dduw, yr hwn trwy dy Ddoethineb wyt nid yn unig yn cyfeirio ac yn trefnu pob peth yn gyssonaf i'th iawnder dy hun; eithr wyt hefyd yn cyflawni dy Ewyllys yn y cyfryw fodd, na's gallwn ni na chydnabyddom dy fod yn gyfiawn yn dy holl ffyrdd, a sanctaidd yn dy holl weithredoedd; Nyni dy bobl bechadurus ydym yma yn syrthio i lawr ger dy fron di, gan gyffesu mai cyfiawn oedd dy Farnedigaethau, yn goddef i ddynion creulon, meibion y Fall (megis ar y Dydd hwn) drochi eu dwylaw yngwaed dy Enneiniog; o herwydd ein bod wedi tynnu yr unrhyw arnom ein hunain, trwy ddirfawr a hir-barhâus gyffroiadau ein pechodau i'th erbyn. Am ba rai gan hynny yr ym ni yma yn ein darostwng ein hunain ger dy fron; gan erfyn dy Drugaredd er maddeuant am danynt oll, ac i wared dy genedl hon oddi wrth euogrwydd gwaed (yn enwedig hwnnw a dywalltwyd y Dydd heddyw) ac ymchwel oddi wrthym ni a'n heppil yr holl farnedigaethau hynny a haeddasom o herwydd ein pechodau. Caniattâ hyn er mwyn cwbl-ddigonol haeddedigaethau dy Fab ein Iachawdwr Iesu Grist. *Amen.*

O Dduw gwŷnfydedig, cyfiawn a galluog, yr hwn a oddefaist (ar gyfer' i Heddyw) roddi i fynu dy anwyl Wasanaethwr, ein diweddar oruchaf Frenhin *Siarles* y Cyntaf, i afreolus gynddeiriowgrwydd dynion enwir, i'w ammherchi a'i ddrygu, ac o'r diwedd i'w ladd ganddynt: Er nad allwn synied ar weithred mor ffiaidd, heb ddychryn a syndod; etto yr ŷm yn ddïolchgaraf yn coffâu rhagoriaethau dy Ras, yn disgleirio y pryd hwnnw yn dy Enneiniog; yr hwn y bu wiw gennyt ei gynnysgaeddu hyd yn awr angau, â mesur rhagorol o amynedd hynod, addfwynder, a chariad perffaith, o flaen wyneb ei elynion ffyrnig. Ac er goddef o honot iddynt fyned rhagddynt i'r cyfryw radd o drais i'w erbyn, ag i'w ladd ef, a meddiannu ei Orseddfaingc; etto yn dy fawr Drugaredd ti a gedwaist ei Fab ef, eiddo'r hwn o gyfiawnder ydoedd hi, ac o'r diwedd, trwy ryfeddol Ragluniaeth, a'i dygaist yn ei [l], ac a'i gosodaist arni, i adferu dy wir Grefydd, ac i sefydlu heddwch yn ein plith. Am y rhain dy fawrion Drugareddau nyni a ogoneddwn dy Enw, trwy Iesu Grist ein gwŷnfydedig Iachawdwr. *Amen.*

¶ *Yn nesaf ar ol y Colect* [Goleua ein tywyllwch, *&c.*] *yr arferir y tri Cholect hyn sydd nesaf yn canlyn.* O Arglwydd, ni a attolygwn i ti, *&c.* O Alluoccaf Dduw, a thrugaroccaf Dad, *&c.* Ymchwel di ni, O Arglwydd, *&c. fel o'r blaen yn y Foreol Weddi.*

¶ *Yn nesaf o flaen Gweddi S.* Crysostom, *yr arferir y Colect yma sydd nesaf yn canlyn.*

HOLL-alluog a thragywyddol Dduw, yr hwn y mae dy Gyfiawnder fel y mynyddoedd cedyrn, a'th Farnedigaethau fel y dyfnder mawr; a'r hwn, trwy y ddybryd lofruddiaeth a wnaethpwyd (ar gyfer' i Heddyw) ar Gorph cyssegredig dy Enneiniog, a ddysgaist i ni nad yw y pennaf o Frenhinoedd, na'r goreu o ddynion, yn ddïogelach rhag trais, mwy nâ marwolaeth naturiol: Dysg i ninnau ar hyn o achos felly gyfrif ein dyddiau, fel y dygom ein calonnau i ddoethineb: a chaniattâ na allo na godidowgrwydd dim y sydd fawr, na bri ar ddim y sydd dda ynom, mewn modd yn y byd dynnu ein golwg oddi ar edrych arnom ein hunain megis llwch a lludw pechadurus; eithr fel y bo i ni (yn ol esampl dy fendigaid Ferthyr hwn) gyrchu at y nôd am gamp uchel yr alwedigaeth sydd o'n blaen, trwy ffydd ac amynedd, gostyngeiddrwydd ac addfwynder, marweiddiad ac ymwrthodiad â ni ein hunain, cariad perffaith, a diysgog barhâu hyd y diwedd: a hyn oll er mwyn dy Fab ein Harglwydd Iesu Grist; i'r hwn, gyd â thydi a'r Yspryd Glân, y bo'r holl anrhydedd a'r gogoniant, yn oes oesoedd *Amen.*

---

# FFURF GWEDDI GYD A DIOLCH I'R HOLL-ALLUOG DDUW,

Am iddo ostegu'r Gwrthryfel Echryslon, trwy Edfryd y Brenhin a'r Brenhinol Deulu, a thrwy ad-sefydlu y Llywodraeth, ar ol hir Flynyddoedd o Rwystr: yr annhraethol Drugareddau hynny a gyflawnwyd yn rhyfeddol ar y Nawfed ar hugain o *Fai*, yn y Flwyddyn 1660. Ac er Coffadwriaeth am hynny y pennodwyd y Dydd hwnnw, trwy Act o Barliament, i'w gadw bob Blwyddyn yn Wyl dros fyth.

¶ *YR Act Parliament, a wnaethpwyd yn y Ddeuddegfed, ac a sicrhawyd yn y Drydedd Flwyddyn ar ddeg o Deyrnasiad Brenhin* Siarles *yr Ail, er cadw bob Blwyddyn y Nawfed Dydd ar hugain o* Fai *megis Dydd o gyhoeddedig Ddiolch, sydd i'w darllain yn gyffredinol ym mhob Eglwys ar y Foreol Weddi, yn nesaf peth ar ol* Credo Nicea, *ar Ddydd yr Arglwydd nesaf o flaen pob cyfryw Nawfed ar hugain o* Fai; *a rhodder Rhybudd am gadw y rhag-ddywededig Ddiwrnod yn barchedig.*

¶ *Yr un fydd y Gwasanaeth ag a arferir ar Ddyddiau-gwyl yn hollol; ond am a osodir isod yn umgenach.*

¶ *Os digwydd y Dydd hwn ar* Ddydd Iou y Dyrchafael, *neu'r* Sulgwyn, *Colectau'r Gwasanaeth hwn a arddodir at Wasanaeth y Gwyliau hynny yn eu priod gyfle; ac os ar* Ddydd Llun *neu* Ddydd Mawrth *yn Wythnos y* Sulgwyn, *neu ar* Sul y Drindod, *y Psalmau priod a osodwyd yma am y Dydd hwn, a arferir yn lle y rhai o gylch cyffredinol, a'r Colectau hefyd a anghwanegir megis uchod; ac ar bob un o'r achosion yma, gadawer heibio y rhan arall o'r Gwasanaeth hwn: ond os digwydd ef ar un* Sul *arall, arferer yr holl Wasanaeth hwn yn gyfan, fel y canlyn. A pha Wyl bynnag a ddigwydd ar y Dydd Uchel-wyl hwn o Ddiolch, arferer yr Emyn sy'n canlyn, osodedig yn lle* Venite, exultemus, *yn wastadol.*

¶ *Dechreuer y Foreol Weddi â'r Ymadroddion hyn.*

GAN yr Arglwydd ein Duw y mae trugareddau a maddeuant, er gwrthryfelu o honom i'w erbyn: ni wrandawsom chwaith ar lais yr Arglwydd ein Duw, i rodio yn ei gyfreithiau ef y rhai a roddodd efe o'n blaen ni. *Dan.* ix. 9, 10.

Trugareddau yr Arglwydd yw, na ddarfu am danom ni: o herwydd ni phallfa ei dosturiaethau ef. *Galar.* iii. 22.

¶ *Yn lle* Venite, exultemus, *dyweder, neu ganer, yr Emyn sydd yn canlyn; un Wers gan yr Offeiriad, a phob ail gan y Clochydd a'r Bobl.*

TRUGAREDDAU 'r Arglwydd a ddatganaf byth: â'm genau y mynegaf dy wirionedd o genhedlaeth i genhedlaeth. *Psal.* lxxxix. 1.

*Gwnaeth yr Arglwydd gofio ei ryfeddodau: graslawn a thrugarog yw'r Arglwydd.* Psal. cxi. 4.

Pwy a draetha nerthoedd yr Arglwydd: ac a fynega ei holl fawl ef? *Psal.* cvi. 2.

*Mawr yw gweithredoedd yr Arglwydd: gwedi eu ceisio gan bawb a'u hoffant.* Psal. cxi. 2.

Yr Arglwydd sydd yn dyrchafu y rhai llariaidd: gan ostwng y rhai annuwiol hyd lawr. *Psal.* cxlvii. 6.

*Yr Arglwydd sydd yn gwneuthur cyfiawnder a barn: i'r rhai gorthrymmedig oll.* Psal. ciii. 6.

Nid byth yr ymryson efe: ac nid byth y ceidw efe ei ddigofaint. *Gwers* 9.

*Nid yn ol ein pechodau y gwnaeth efe â ni: ac nid yn ol ein hanwireddau y talodd efe i ni.* Gwers 10.

Canys cyfuwch ag yw'r nefoedd uwchlaw'r ddaear: y rhagorodd ei drugaredd ef ar y rhai a'i hofnant ef. *Gwers* 11.

*Fel y tosturia tad wrth ei blant: felly y tosturia'r Arglwydd wrth y rhai a'i hofnant ef.* Gwers 13.

Profaist ni, O Dduw: coethaist ni fel coethi arian. *Psal.* lxvi. 10.

*Peraist i ddynion farchogaeth ar ein pennau; aethom trwy'r tân a'r dwfr: a thi a'n dygaist allan i le diwall.* Gwers 12.

O, mor aml a blin gystuddiau a wnaethost ti i ni eu gweled! etto ti a'n bywheaist drachefn: ac a'n cyfodaist drachefn o orddyfnder y ddaear. *Psal.* lxxi. 20.

*Tydi a'n cofiaist yn ein hisel radd, ac a'n hachubaist oddi wrth ein gelynion: o herwydd dy drugaredd sydd yn dragywydd.* Psal. cxxxvi. 23, 24.

Graslawn fuost, O Arglwydd, i'th dir: dychwelaist gaethiwed Jacob. *Psal.* lxxxv. 1.

*Ein Duw trugarog a'n rhagflaenodd: a Duw a wnaeth i ni weled ein hewyllys ar ein gelynion.* Psal. lix. 10.

Hwy a gwympasant, ac a syrthiasant: ond nyni a gyfodasam, ac a safasom. *Psal.* xx. 8.

*Yno y syrthiodd gweithwŷr anwiredd: gwthiwyd hwynt i lawr, ac ni allant gyfodi.* Psal. xxxvi. 12.

Yr Arglwydd a'n cofiodd ni; efe a'n bendithia: bendithia efe dŷ Israel, bendithia efe dŷ Aaron. *Psal.* cxv. 12.

*Bendithia efe y rhai a ofnant yr Arglwydd: fychain a mawrion.* Gwers 13.

O na foliannent yr Arglwydd am ei ddaioni: a'i ryfeddodau i feibion dynion! *Psal.* cvii. 21.

*Aberthant hefyd aberth moliant: a mynegant ei weithredoedd ef mewn gorfoledd.* Gwers 22.

Na chelant chwaith rhag eu meibion: gan fynegi i'r oes a ddêl foliant yr Arglwydd, a'i nerth, a'i ryfeddodau y rhai a wnaeth efe. *Psal.* lxxviii. 4.

*Fel y gwybyddo yr oes a ddêl, sef y plant a enir: ac na byddont fel eu tadau, yn genhedlaeth gyndyn a gwrthryfelgar.* Gwersi 6, 9.

Bendithiwch Dduw yn y cynnulleidfaoedd: sef yr Arglwydd, y rhai ydych o ffynnon Israel. *Psal.* lxviii. 26.

*Bendigedig fyddo'r Arglwydd, yr hwn a'n llwytha beunydd â daioni: sef Duw ein iachawdwriaeth.* Gwers 19

Darfydded weithian anwiredd yr annuwiol: eithr cyfarwydda di y cyfiawn. *Psal.* vii. 9.

*Llawenyched ac ymhyfryded ynot ti y rhai oll a'th geisiant: dyweded y rhai a garant dy iachawdwriaeth bob amser, Mawryger yr Arglwydd.* Psal. xl. 16.

Gogoniant i'r Tad, &c.

*Megis yr oedd yn y dechreu,* &c.

¶ *Psalmau priod.* CXXIV, CXXVI, CXXIX, CXVIII.

¶ *Llithiau priod.* I. 2 Sam. XIX. gwers 9. neu Numb. XV. *Te Deum.* II. Epistol S. Judas. *Jubilate Deo.*

¶ *Y Gwersiclau nesaf ar ol y Credo a fydd y rhain.*

*Offeiriad.* Arglwydd, dangos dy drugaredd arnom.
*Atteb.* A chaniatta i ni dy iachawdwriaeth.
*Offeiriad.* Arglwydd, cadw y Brenhin,
*Atteb.* Yr hwn sydd yn ymddiried ynot.
*Offeiriad.* Anfon iddo borth o'th sancteiddfa.
*Atteb.* Ac byth yn nerthol ymddiffyn ef.
*Offeiriad.* Na ad i'w elynion gael y llaw uchaf arno.
*Atteb* Na ad i'r enwir nesâu i'w ddrygu.
*Offeiriad.* Gwisg dy Weinidogion ag iawnder.
*Atteb.* A gwna dy ddewisol bobl yn llawen.
*Offeiriad.* Arglwydd, dyro dangnefedd yn ein dyddiau.
*Atteb.* Gan nad oes neb arall a ymladd drosom, ond tydi, Dduw, yn unig.
*Offeiriad.* Bydd i ni, O Arglwydd, yn dŵr cadarn,
*Atteb.* Rhag wyneb ein gelynion.
*Offeiriad.* Arglwydd, gwrando ein gweddïau.
*Atteb.* A deled ein llef hyd attat.

¶ *Yn lle'r Colect cyntaf ar y Foreol Weddi, yr arferir y ddau hyn sydd yn canlyn.*

HOLL-alluog Dduw, yr hwn wyt gadarn Dŵr ymddiffyn i'th weision rhag wyneb eu gelynion; Yr ydym ni yn rhoddi i ti foliant a diolch am y rhyfeddol Ymwared a ganiatteaist i'r Teyrnasoedd hyn oddi wrth Y GWRTHRYFEL MAWR, a'r holl Drueni a'r Gorthrymder yn canlyn yr unrhyw, dan ba rai y buasant yn griddfan dros gymmaint o amser. Yr ydym ni yn cydnabod mai dy Ddaioni di yw, na'n rhoddwyd ni i fynu yn gwbl yn ysglyfaeth iddynt hwy; Gan attolwg i ti yn wastadol barhâu dy gyfryw Drugareddau tu ag attom; fel y gwypo'r holl fyd mai tydi yw ein Hachubwr, a'n cadarn Waredwr ni, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

O Arglwydd Dduw ein Iachawdwriaeth, yr hwn a fuost raslawn iawn i'r tir hwn, a thrwy dy ryfeddol Ragluniaeth a'n gwaredaist ni allan o'n Hannhrefn resynol a thramawr, trwy edfryd i ni, ac i'w ddïamheuol Gyfiawn-fraint ei hun, dy Wasanaethwr, Brenhin *Siarles* yr Ail, yr hwn oedd ein grasusaf a'n cyfiawnaf Ben-llywiawdwr ni yr amser hwnnw (er gwaethaf holl allu a malais ei elynion) a'i sefydlu ef ar Orsedd-faingc y Teyrnasoedd hyn, gan edfryd i ninnau hefyd trwy hynny ryddid i broffesu yn gyhoeddus dy wir Grefydd a'th iawn Addoliad, ynghŷd â'n Tangnefedd a'n Llwyddiant gynt, er mawr gysur a diddanwch ein calonnau: Yr ŷm ni yr awrhon yma ger dy fron di yn cydnabod gyd â phob dyledus ddïolchgarwch dy Ddaioni annhraethol tu ag attom, yr hwn a ddangosaist i ni ar gyfer' i'r Dydd heddyw, ac yn offrymmu ein haberth o foliant i'th Enw mawr gogoneddus am yr unrhyw; gan ufudd-attolygu i ti dderbyn yn gymmeradwy ein diffuant, etto ein hannheilwng Offrymmedigaeth o honom ein hunain; gan addunedu pob sanctaidd Ufudd-dod ar feddwl, gair, a gweithred, i'th Dduwiol Fawredd; a chan addaw ynot ti ac erot ti bob ffyddlon a dyledus Wasanaeth i'th Enneiniog Wasanaethwr sydd yr awrhon yn llywodraethu trosom, ac i'w Etifeddion ar ei ol: Bendithia ef, ni a attolygwn i ti, â phob cynnyrch Gras, Anrhydedd, a Dedwyddwch, yn y Byd hwn, a chorona ef ag Anfarwoldeb a Gogoniant yn y Byd a ddaw, er mwyn Iesu Grist, ein Harglwydd a'n Iachawdwr. *Amen.*

¶ *Yn niwedd y Litani (yr hon a arferir yn wastad ar y Dydd hwn) ar ol y Colect* [Nyni a attolygwn i ti, O Arglwydd Dad, *&c.*] *y dywedir y Colect sydd yma nesaf yn canlyn.*

HOLL-alluog Dduw, yr hwn ym mhob oes a ddangosaist dy nerth a'th drugaredd, yngwarediadau rhyfeddol a grasusol dy Eglwys, ac yn noddi cyfiawn a chrefyddol Frenhinoedd a Stadau, yn proffesu dy sanctaidd a'th dragywyddol Wirionedd, rhag Cydfwriadau maleisus ac Ystrywiau drygionus eu holl Elynion; Ni a roddwn i ti ddiolch a moliant diffuant, o eigion ein calonnau, megis am dy aml drugareddau mawrion a chyhoedd, felly yn enwedig am yr hyspysol a'r rhyfeddol Ymwared, yr hwn (ar gyfen' i Heddyw) a ddarfu i'th ddoeth a'th ddaionus Ragluniaeth ei gwblhâu a'i ganiattâu i'n grasusaf ddaionus Arglwydd Frenhin y pryd hwnnw, *Siarles* yr Ail, a'r holl Frenhinol Deulu; ac ynddynt hwy, a chyd â hwy, i'r holl Eglwys a'r Deyrnas hon, ac i bob Ystâd a Gradd o ddynion ynddynt; oddi wrth Wrthryfel, a Thrais, a Gorthrymder annaturiol dynion annuwiol a chreulon, ac oddi wrth yr Annhrefn a'r Dinystr gresynol oedd yn canlyn. O rasusaf a thrugaroccaf Arglwydd Dduw, nid ein haeddiant ni, ond dy Drugaredd di; nid ein rhagddarbod ni, ond dy Ragluniaeth di; nid ein braich ein hunain a'n hachubodd ac a'n gwaredodd oddi wrth yr holl bethau hyn, ond dy Ddeheulaw di a'th Fraich, a Llewyrch dy Wyneb; am dy fod di yn ein hoffi. Ac am hynny nid i ni, O Arglwydd, nid i ni, ond i'th Enw di y rhodder yr holl Anrhydedd, a'r Gogoniant, a'r Mawl, ynghyd â Diolch gostyngeiddiaf a ffyddlonaf, yn holl Eglwysi'r Saint. Poed felly. Bendigedig fyddo'r Arglwydd ein Duw, yr hwn yn unig sydd yn gwneuthur rhyfeddodau; a bendigedig fyddo ei Enw mawr ef yn dragywydd, trwy Iesu Grist ein Harglwydd a'n hunig Iachawdwr. *Amen.*

¶ *Yngwasanaeth y Cymmun, o flaen yr Epistol, yn ddigyfrung yr arferir y ddau Golect hyn, yn lle'r Colect dros y Brenhin, a Cholect y Dydd.* Holl-alluog Dduw, yr hwn wyt gadarn Dŵr ymddiffyn, *&c.* O Arglwydd Dduw ein Iachawdwriaeth, *&c. fel o'r blaen yn y Foreol Weddi.*

¶ *Yr Epistol.* 1 S. Petr II. gwers 11. hyd wers 18.

¶ *Efengyl.* S. Matth. XXII. gwers 16. hyd wers 23.

¶ *Yn yr Offrymiad darllener y Wers hon.*

NID pob un sydd yn dywedyd wrthyf, Arglwydd, Arglwydd, a ddaw i mewn i deyrnas nefoedd; ond yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys fy Nhad, yr hwn sydd yn y nefoedd. S. *Matth.* vii. 21.

¶ *Ar ol y Weddi* [Dros holl Ystâd Eglwys Grist, *&c.*] *y dywedir y Colect hwn sydd yn canlyn.*

HOLL-alluog Dduw a nefol Dad, yr hwn o'th anfeidrol a'th annhraethol Ddaioni tu ag attom, mewn modd anarferol a rhyfedd, a ddad-ddymchwelaist ac a ddiddymmaist annuwiol fwriadau y dynion bradwrus, pengaledion, a beilchion hynny, y rhai, dan rith Crefydd a'th Enw sancteiddiaf, a ddychymygasent, ac agos a gyflawnasent, gwbl ddinystr yr Eglwys a'r Deyrnas hon: Megis yr ydym ni Heddyw yn dra diffifol a defosiynol yn addoli ac yn mawrygu dy Enw gogoneddus, am dy anfeidrol rasusol Ddaioni hyn a ganiatteaist i ni yn barod; felly yn ostyngeiddiaf yr attolygwn i ti barhâu dy ras a'th ffafr tu ag attom, gan ein cuddio a'n cadw dan gysgod dy adenydd, fel na byddo byth o hyn allan i'r fath drueni gresynol syrthio arnom. Er mwyn hyn anfon allan dy lewyrch a'th wirionedd, i ddatguddio'r dyfnderau hyn o eiddo Satan, dirgelwch yr anwiredd hwn. Ynfyda a diddymma holl gynghorion dirgel yr annuwiol. Gostwng eu balchder, tola eu drygioni, a gwaradwydda eu bwriadau. Nertha ddwylaw ein grasusaf ddaionus Arglwydd Frenhin *GEORGE*, a phawb y sydd wedi eu gosod mewn Awdurdod dano, i dorri ymaith trwy farn a chyfiawnder gymmaint oll o weithredwyr anwiredd, ag a droant Grefydd yn Wrthryfel, a Ffydd yn Derfysg; fel na chaffont byth mwy y llaw uchaf arnom, ac na orfoleddont yn ninystr y Llywodraeth Frenhinol, a'th Eglwys yn ein plith. Ymddiffyn a chadw ein grasusaf Arglwydd Frenhin, a'r holl Frenhinol Deulu, oddi wrth bob Traeturiaeth a Brad. Bydd iddo yn Helm Iachawdwriaeth, ac yn gadarn Dŵr Ymddiffyn rhag wyneb ei elynion oll. Ac am y rhai anghymhodlon, gwisg hwy â chywilydd a gwaradwydd; eithr arno Ef a'i Hiliogaeth blodeued ei Goron yn dragywydd. Felly nyni dy bobl, a defaid dy borfa, a'th foliannwn di yn dragywydd, ac a ddatganwn dy foliant o genhedlaeth i genhedlaeth byth, trwy Iesu Grist ein hunig Iachawdwr a'n Gwaredwr; i'r hwn, gyd â thydi O Dad, a'r Yspryd Glân, y byddo gogoniant yn yr Eglwys trwy'r holl genhedlaethau, heb drangc na gorphen. *Amen.*

# FURF GWEDDI GYD A DIOLCH I'R HOLL-ALLUOG DDUW,

I'w harfer bob Blwyddyn ym mhob Eglwys a Chapel yn y Deyrnas hon, ar y Pummed Dydd ar hugain o *Hydref;* sef, y Dydd y dechreuodd y Brenhin ei ddedwyddol Deyrnasiad.

¶ *Yr un fydd y Gwasanaeth ag a arferir ar Ddyddiau Gwyl yn hollol; ond lle'r ordeiniwyd yn amgen yn y Ffurf hon.*

¶ *Os diguydd y Dydd hwn ar* Ddydd Sul, *arferir y Gwasanaeth hwn, fel y canlyn, yn hollol.*

¶ *Y Foreol Weddi a ddechreu â'r Ymadroddion hyn.*

CYNGHORI yr ydwyf, ynilaen pob peth, fod Ymbiliau, Gweddiau, Deisyfiadau, a Thalu Diolch, dros bob dŷn: dros Frenhinoedd, a phawb sydd mewn Goruchafiaeth; fel y gallom ni fyw yn llonydd ac yn heddychol, mewn pob duwioldeb ac onestrwydd: canys hyn sydd dda a chymmeradwy ger bron Duw ein Ceidwad. 1 *Tim.* ii. 1, 2, 3.

Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom: ond os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe a chyfiawn; fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n glanhao oddi wrth bob anghyfiawnder. 1 S. *Ioan* i. 8, 9.

¶ *Yn lle* Venite, exultemus, *y cenir, neu y dywedir, yr Emyn hon sy'n canlyn; un Wers gan yr Offeiriad, a phob ail gan y Clochydd a'r Bobl.*

O Arglwydd ein Ior ni: mor ardderchog yw dy Enw ar yr holl ddaear! *Psal.* viii. 1.

*Arglwydd, beth yw dŷn, pan gydnabyddit ef: neu fab dŷn, pan wnait gyfrif o hono?* Psalm cxliv. 3.

Gwnaeth gofio ei ryfeddodau: graslawn a thrugarog yw'r Arglwydd. *Psal.* cxi. 4.

*O na foliannent yr Arglwydd am ei ddaioni: a'i ryfeddodau i feibion dynion!* Psal. cvii. 21.

O Dduw, ein Tarian, gwel: ac edrych ar wyneb dy Enneiniog. *Psal.* lxxxiv. 9.

*Cynnal ei gerddediad ef yn dy lwybrau: fel na lithro ei draed.* Psal. xvii. 5.

Estyn oes y Brenhin: a llawenhâ ef â llawenydd dy wynebpryd. *Psal.* lxi. 6. a'r xxi. 6.

*Arhosed byth ger dy fron di: darpar drugaredd a gwirionedd, fel y cadwont ef.* Psal. lxi. 7.

Yn ei ddyddiau ef blodeued y cyfiawn: a gwna ein bro ni yn heddychol. *Psal.* lxxii. 7. a cxlvii. 14.

*Gwisg ei elynion ef a chywilydd: a blodeued ei goron arno yntau.* Psal. cxxxii. 18.

Bendigedig fyddo'r Arglwydd Dduw, Duw Israel: yr hwn yn unig sydd yn gwneuthur rhyfeddodau. *Psal.* lxxii. 18.

*Bendigedig hefyd fyddo ei Enw gogoneddus ef yn dragywydd: a'r holl ddaear a lanwer o'i ogoniant. Amen, ac Amen.* Gwers 19.

Gogoniant i'r Tad, &c.

*Megis yr oedd yn y dechreu,* &c.

¶ *Psalmau prïod.* XX, XXI, CI.

¶ *Llithiau prïod.* { I. Jos. I. hyd w. 10. *Te Deum.*
{ II. Rhuf. XIII. *Jubilate Deo.*

¶ *Y Gwersiclau nesaf ar ol y Credo a safant fel hyn.*

*Offeiriad.* Arglwydd, dangos dy drugaredd arnom.
*Atteb.* A chaniattâ i ni dy iachawdwriaeth.
*Offeiriad.* Arglwydd, cadw y Brenhin,
*Atteb.* Yr hwn sydd yn ymddiried ynot.
*Offeiriad.* Anfon iddo borth o'th sancteiddfa.
*Atteb.* Ac byth yn nerthol ymddiffyn ef.
*Offeiriad.* Na ad i'w elynion gael y llaw uchaf arno.
*Atteb.* Na ad i'r enwir nesâu i'w ddrygu.
*Offeiriad.* Gwisg dy Weinidogion ag iawnder.
*Atteb.* A gwna dy ddewisol bobl yn llawen.
*Offeiriad.* Arglwydd, cadw dy bobl.
*Atteb.* A bendithia dy etifeddiaeth.
*Offeiriad.* Arglwydd, dyro dangnefedd yn ein dyddiau.
*Atteb.* Canys nid oes neb arall a ymladd drosom, ond tydi, O Dduw, yn unig.
*Offeiriad.* Bydd i ni, O Arglwydd, yn Dŵr cadarn,
*Atteb.* Rhag wyneb ein gelynion.
*Offeiriad.* Arglwydd, gwrando ein gweddïau.
*Atteb.* A deued ein llef hyd attat.

¶ *Yn lle'r Colect cyntaf ar y Foreol Weddi, yr arferir y Colect dilynol hwn o Ddiolwch am Ddyfodiad y Brenhin i lywodraethu arnom.*

HOLL-alluog Dduw, yr hwn wyt yn llywodraethu ar holl deyrnasoedd y byd, ac yn eu trefnu wrth dy ewyllys daionus; Nyni a ddïolchwn it' yn ddiffuant am deilyngu, ar gyfen' i Heddyw, osod dy Wasanaethwr, ein goruchaf Arglwydd Frenhin *GEORGE*, ar Orseddfainge y Teyrnasoedd hyn. Bid dy ddoethineb di i'w dywys ef, ac â'th fraich nertha ef; blodeued yn ei ddyddiau ef gyfiawnder, gwirionedd, a sancteiddrwydd, heddwch a chariad, a'r holl rinweddau y sy'n harddu'r Broffes Gristianogol: llywia ei holl Gynghorion a'i Lafur ef at dy Ogoniant di, a Daioni ei Bobl; a dyro i ninnau ras i ufuddhâu iddo yn siriol ac yn ewyllysgar, er mwyn Cydwybod; fel na bo i'n gwŷniau pechadurus, na'n prïod-elw ni, waradwyddo ei Ofalon ef am y Lles Cyffredin: bid iddo yn wastadol feddiannu Calonnau ei Bobl; fel na bont byth yn fyr o'i anrhydeddu ef, ac ufuddhâu i'w Awdurdod: bid hir a llwyddiannus ei Deyrnasiad, a chorona ef ag Anfarwoldeb yn y Byd a ddaw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

¶ *Yn niwedd y Litani (yr hon yn wastad a arferir ar y Dydd hwn) ar ol y Colect* [Ni a attolygwn i ti, O Dad, &c.] *yr arferir y Weddi sy'n canlyn dros y Brenhin a'r Brenhinol Deulu.*

O Arglwydd ein Duw, yr hwn wyt yn cynnal ac yn llywio pob peth yn y nef a'r ddaear; Derbyn ein hufudd Weddïau, gyd â'n diffuant Ddïolch, am ein goruchaf Arglwydd *GEORGE*, a osododd dy Ras a'th Ragluniaeth, ar gyfen' i Heddyw, yn Frenhin arnom ni; ac felly, gyd ag ef, bendithia ein grasol Frenhines *Siarlott*, eu Brenhinol Uchelradd George, Tywysog *Cymru*. Tywysoges *Cymru*, a'r holl Frenhinol Deulu; fel y bo iddynt oll, gan ymddiried yn wastad yn dy ddaioni, a'u hymddiffyn gan dy allu, a'u coroni â'th rasol a diball ffafr, barhâu ger dy fron mewn iechyd, heddwch, llawenydd, ac anrhydedd, hir a dedwydd einioes ar y ddaear, ac ar ol y fuchedd hon, mwynhâu bywyd a gogoniant tragywyddol yn Nheyrnas Nef, trwy Haeddedigaethau a Chyfryngiad Iesu Grist ein Iachawdwr; yr hwn, gyd â'r Yspryd Glân, sy yn byw ac yn teyrnasu byth yn un Duw, heb drange na gorphen. *Amen.*

¶ *Yna y canlyn y Colect hwn, a'r i Dduw ymddiffyn y Brenhin yn erbyn ei holl Elynion.*

O Dduw grasusaf, yr hwn a osodaist dy Wasanaethwr ein Brenhin *GEORGE* ar Orseddfainge ei Hynafiaid; Yn ostyngeiddiaf attolygwn it' ei ymddiffyn ef ar yr unrhyw rhag pob peryglon y gallo efe fod yn eu hergyd; cudd ef rhag cyfrinach y rhai drygionus, a rhag terfysg gweithredwŷr anwiredd: llesghâ ddwylaw, diddyma fwriadau, a diffrwytha ymgeisiau ei Elynion oll, fel na allo na dirgel Fradwriaethau, na Thrais cyrch cyhoeddol, gythryblio ei Lywodraeth; eithr bod iddo, ac efe yn cael ei gadw yn ddiogel dan gysgod dy Adain, a'i gynnal gan dy Gadernid, orfoleddu ar bob Gwrthgais; fel y gallo'r

holl fyd gydnabod mai ti yw ei Achubydd, a'i gadarn Waredydd ef ym mhob Cyfeiaeth a Gwrthwyneb, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

¶ *Yna'r Weddi dros Uchel Lys y Parliament, os bydd e'n eistedd.*

¶ *Yng Ngwasanaeth y Cymmun, yn nesaf o flaen darllain yr Epistol, yn lle'r Colect dros y Brenhin, a Cholect y Dydd, yr arferir y Weddi yma dros y Brenhin, megis Pen-llywydd yr Eglwys.*

O Fendigedig Arglwydd, yr hwn a elwaist Dywysogion Cristianogol i ymddiffyn dy Ffydd, ac a roist yn Ddyled arnynt, hwylio ymlaen Hawddfyd ysprydol, gyd â Llesâd amserol eu Pobl; Yr ŷm yn cydnabod â gostyngedig a diolchgar galonnau dy fawr Ddaioni i ni, yn gosod dy Wasanaethwr, ein Brenhin grasusaf, ar yr Eglwys a'r Deyrnas hon: Dyro iddo, ni a attolygwn it', yr holl nefol Radau angenrheidiol i gyfnwch Ymddiried; Llwydded yn ei Ddwylaw dy Waith di ei Dduw; Gweled ei Lygaid ef Lwydd ei holl Fwriadau ar Les dy wir Grefydd sefydledig yn ein plith; A gwna ef yn Erfyn bendigedig i ymddiffyn a dyrchafu dy Wirionedd, pa le bynnag y mae dyn Erlid a Gorthrech: Ffoëd Rhagrith a Halogrwydd, Coel-grefydd a Gau-dduwiaeth, o'i wydd ef; Na ad i Heresiau na Gau-ddysgeidiaeth anheddychu dy Eglwys, nac i Sismau ac Ymneillduadau diachos ei gwanhâu; eithr caniattâ i ni fod o un galon ac un meddwl yn dy wasanaethu di ein Duw, ac yn ufuddhâu iddo yntau yn ol dy Ewyllys di. Ac, fel y mwynhao'r oesoedd i ddyfod y Bendithion hyn, Na fid fyth eisiau Un o'i Dŷ ef i lywodraethu'r Teyrnasoedd yma ar ei ol ef; fel y gwelo ein Hiliogaeth ni Blant ei Blant ef, a Heddwch ar Israel. Felly nyni dy Bobl, a Defaid dy Borfa, a ddiolchwn it' yn dragywydd, ac a ddatganwn fyth dy Foliant o genhedlaeth i genhedlaeth, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Anwylyd, yr wyf yn attolwg i chwi. 1 S. *Petr* ii. gwers 11. hyd wers 18.

*Yr Efengyl.*

A hwy a ddanfonasant atto eu. S. *Matth.* xxii. gwers 16. hyd wers 23.

¶ *Ar ol Credo Nicea, y canlyn y Bregeth.*

¶ *Yn yr Offrymiad darllener y Wers hon.*

LLEWYRCHED felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd. S. *Matth.* v. 16.

¶ *Ar ol y Weddi* [Dros holl Ystâd Eglwys Grist, *&c.*] *darllener y Colectau sy'n canlyn.*

¶ *Gweddi am Undeb.*

DUW, Dad ein Harglwydd Iesu Grist, ein hunig Iachawdwr, Tywysog Tangnefedd; Dyro ras i ni yn ddifrifol i osod at ein calon y mawr beryglon yr ŷm ynddynt trwy ein hymraniadau annedwydd: Dwg ymaith bob digasedd a rhagfarn, a pha beth bynnag arall a ddichon ein rhwystro ni i dduwiol Undeb a Chyd-gordio; Fel, megis nad oes ond un Corph, ac un Yspryd, ac un Gobaith o'n Galwedigaeth; un Arglwydd, un Ffydd, un Bedydd, un Duw a Thad i ni oll; felly y bo i ni oll o hyn allan fod o un Galon, ac o un Enaid, wedi ein huno mewn un sanctaidd gwlwm Gwirionedd a Heddwch, Ffydd a Chariad perffaith; ac ag un meddwl ac un genau dy ogoneddu di, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

CANIATTA, O Arglwydd, ni a attolygwn i ti, fod i chwyl y byd hwn gael ei drefnu mor dangnefeddol gan dy lywodraeth di, ag y gallo dy Eglwys di dy wasanaethu yn llawen ym mhob duwiol Heddwch, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

CANIATTA, ni a attolygwn i ti, Holl-alluog Dduw am y geiriau, *&c.*

HOLL-alluog Dduw, ffynnon pob doethineb, yr hwn wyt yn, *&c.*

TANGNEFEDD Dduw, yr hwn sydd uwch law pob deall, *&c.*

---

GEORGE *R.*

EIN *Hewyllys a'n Gorchymyn yw, Printio a chyhoeddi allan o law y Pedair Ffurf hyn o weddiau a wnaethpwyd i'r pummed o* Dachwedd, *y degfed ar hugain o* Ionawr, *y nawfed ar hugain o* Fai, *a'r pummed ar hugain o* Hydref; *a'u cyssylltu ynghyd a'r Llyfr Gweddi Gyffredin a Liturgi Eglwys Loegr, i'w harferu bob Blwyddyn ar y dyddiau dywededig ym mhob Eglwys a Chapel Cadeiriol a Cholegol, yng Nghapel pob Colega Neuadd o fewn pob un o'n dwy Brif-Ysgol, ac o'n Colegau* Eton *a* Chaerwynt, *ac ym mhob Eglwys a Chapel Plwyfol o fewn y rhan honno o'n Teyrnas* Brydain *Fawr a elwir* Lloegr, *Tywysogaeth* Cymru, *a Thref* Berwic ar Twid.

Rhoddwyd yn Ein Llys St. *Iago*, y seithfed dydd o *Hydref*, 1761, yn y Flwyddyn gyntaf o'n Teyrnasiad.

*Trwy Orchymyn Ei Fawrhydi,*

BUTE.

# ERTHYGLAU

**A gyttunwyd arnynt gan ARCH-ESGOBION ac ESGOBION y ddwy Dalaith, a'r holl EGLWYSWYR, yn y Gymmanfa a gynhaliwyd yn *LLUNDAIN* yn y Flwyddyn 1562, er mwyn gochelyd amrafael Opiniynau, a chadarnhau Cyssondeb ynghylch gwir Grefydd. A ail-brintiwyd trwy Orchymyn Ei FAWRHYDI, gyd a'i Frenhinol Ddeclarasiwn o'u blaen hwynt.**

---

## DECLARASIWN Y BRENHIN.

*GAN Ein bod wrth Ordinhâd Duw, yn ol Ein cyfiawn Ditl, yn* Ymddiffynnydd y Ffydd, a Goruwch-Lywiawdr yr Eglwys, yn Ein Harglwyddiaethau hyn; *yr ydym yn cyfrif yn drc chyttunol i'n Swydd Frenhinol hon, a'n Zel grefyddol Ein Hun, gadw ac ymddiffyn yr Eglwys a roddwyd dan Ein Gofal, yn Undeb gwir Grefydd, ac ynghwlwm Tangnefedd; ac nid dioddef i Ymddadleuon angenrheidiol, Amrafaelion, neu Gwestiynau, gyfodi, a'r a allo fagu Ymryson yn yr Eglwys a'r Wladwriaeth. Tybiasom gan hynny, ar Bwyll ystyriol, ac wrth Gyngor cynnifer o'n Hesgobion ag a ellid yn gyfleus eu galw ynghŷd, yn gymmwys wneud y Declarasiwn sy'n canlyn.*

*Fod Erthyglau Eglwys* Loegr *(y rhai a gymmeradwywyd ac a awdurdodwyd hyd yn hyn, a'r rhai y darfu i'n Heglwyswŷr yn gyffredin ddodi eu dwylaw wrthynt) yn cynnwys gwir Athrawiaeth Eglwys* Loegr, *yn gyttunol â Gair Duw: y rhai yr ydym gan hynny yn eu sicrhâu ac yn eu cadarnhâu; gan orchymyn i'n holl Ddeiliaid caredig barhâu yn yr Unffurf honno o Broffes, a gwahardd yr Anghydfod lleiaf oddi wrth y dywededig Erthyglau; y rhai i'r diben hynny yr ydym yn gorchymyn eu Printio o newydd, a chyhoeddi Ein Declarasiwn hwn gyd â hwynt.*

*Ein bod yn Oruwch-Lywiawdr Eglwys* Loegr: *a bod, os cyfyd dim Ymryson ynghylch y Llywodraeth oddi allan, am* Orchymynau, Canonau, *a* Gosodedigaethau *eraill pa rai bynnag yn perthyn iddi, i'r Eglwyswŷr yn eu Cymmanfa eu trefnu a'u gwastadlu, wedi cael Cennad yn gyntaf dan Ein Sel Lydan i wneuthur felly, a Ninnau yn cymmeradwyo eu Hordinhadau hynny â'u Gosodedigaethau; tra na wneler un o honynt yn wrthwyneb i Gyfreithiau a Defodau y Deyrnas.*

*Bod, o'n Gofal Tywysogol, i'r Gwŷr Eglwysig wneuthur y Gwaith sydd bïodol iddynt; yr Esgobion a'r Eglwyswŷr, o amser bwygilydd mewn Cymmanfa ar eu hufudd Ddymuniad, a gânt Gennad dan Ein Sel Lydan, i ymgynghori ynghylch, a gwneuthur yr holl gyfryw bethau ag a wneler yn eglur ganddynt, ag y cyttunom Ni â hwynt, a berthyn i sefydlog barhâd Athrawiaeth a Disgyblaeth Eglwys* Loegr *y sy'r awrhon yn safadwy; oddi wrth yr hon ni ddïoddefwn Ni ddim newidiad neu ymadawiad yn y radd leiaf.*

*Ein bod am yr amser presennol, er darfod codi rhai Amrafaelion drwg, etto yn ymgysuro yn hyn; Ddarfod i'r holl Eglwyswŷr o fewn Ein Teyrnas, bob amser yn ewyllysgaraf ddodi eu dwylaw wrth yr Erthyglau gosodedig hyn: yr hyn sydd Reswm i Ni, eu bod hwy oll yn cyttuno yngwir, arferol, a llythrennol feddwl y dywededig Erthyglau; a bod, hyd yn oed yn y Pyngciau manylaidd hynny lle mae'r Amrafaelion presennol yn sefyll, pobl o bob math yn cymmeryd fod Erthyglau Eglwys* Loegr *drostynt: yr hyn sydd Reswm ym mhellach etto, nad oes neb o honynt yn chwennych ymadael â'r Erthyglau safadwy hyn.*

*Y mynnwn gan hynny, yn yr Amrafaelion manylaidd ac annedwydd hyn, y rhai dros gynnifer cant o flynyddoedd, ac mewn amrafael amseroedd a mannau, a fuont waith i Eglwys* Grist *i'w wneuthur, adael heibio bob manylaidd chwilio ym mhellach, a chau i fynu yr Ymddadleuon hynny yn Addewidion Duw, fel y gosodir hwynt allan yn gyffredin i ni yn yr Ysgrythyr Lân, a Meddwl cyffredin Erthyglau Eglwys* Loegr *yn ei hol hi: ac na chaffo neb o hyn allan na Phrintio na Phregethu i ŵyro'r Erthyglau mewn un modd, eithr ymostwng iddynt yn eu Meddwl eglur a chyflawn; ac ni chaiff roi ei Synwyr neu ei Ddeongliad ei hun i fod yn Feddwl yr Erthyglau, eithr eu cymmeryd yn Ystyr y Llythyren â'r Grammadeg.*

*Bod, os rhydd rhyw Ddarllenydd cyhoedd yn un o'n dwy Brif-Ysgol, neu ryw Ben neu Feistr Coleg, neu neb arall yn neillduol yn un o honynt, ryw Ystyriaeth newydd i un o'r Erthyglau, neu ddarllain ar gyhoedd, trefnu, neu gynnal, un Ddadl gyhoeddus, neu oddef cynnal un o'r cyfryw mewn un wedd yn un o'n dwy Brif-Ysgol, neu'n Colegau yn neillduol; neu, os pregetha un Difinydd yn y Prif-Ysgolion, neu brintio dim yn un wedd, yn amgen nag a wastadlwyd eisoes mewn Cymmanfa trwy Ein Cyd-syniad Brenhinol; iddo ef, neu hwy y Troseddwŷr, fod dan Bwys Ein Hanfoddlonrwydd, a Barn yr Eglwys yn Ein Commissiwn Eglwysig, yn gystal â neb arall: ac Nyni a fynnwn weled gwneuthur Cospedigaeth addas arnynt.*

---

## *Y Namyn un deugain ERTHYGLAU CREFYDD.*

### I. *Am Ffydd yn y Drindod Sanctaidd.*

NID oes ond un gwir Dduw byw, tragywyddol, heb gorph, heb rannau, heb ddioddefiadau; o anfeidrol Allu, Doethineb, a Daioni; Gwneuthurwr a Chynhaliwr pob peth gweledig ac anweledig. Ac yn Undod y Duwdod yma y mae tri Pherson, o un Sylwedd, Galluowgrwydd, a Thragywyddoldeb; y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân.

### II. *Am y Gair, neu Fab Duw, yr hwn a wnaethpwyd yn wir Ddyn.*

Y Mab, yr hwn yw Gair y Tad, a genhedlwyd er tragywyddoldeb gan y Tad, gwir a thragywyddol Dduw, o'r un Sylwedd â'r Tad, a gymmerodd natur dŷn ym mru'r Wŷryf fendigaid, o'i sylwedd hi: fel y mae dwy natur berffaith gyfan-gwbl, sef y Duwdod a'r Dyndod, wedi eu cyssylltu ynghŷd yn un Person, ni wahenir byth, o'r rhai y mae un Crist, gwir Dduw a gwir Ddyn, yr hwn a wir-ddïoddefodd, a groes-hoeliwyd, a fu farw, ac a gladdwyd, i gymmodi ei Dad â nyni, ac i fod yn aberth, nid yn unig dros euogrwydd pechod gwreiddiol, eithr hefyd dros weithredol bechodau dynion.

### III. *Am Ddisgyniad Crist i Uffern.*

MEGIS y bu Crist farw drosom, ac y claddwyd ef; felly hefyd y mae i'w gredu, iddo ddisgyn i Uffern.

### IV. *Am Adgyfodiad Crist.*

CRIST a wir-adgyfododd o feirw, ac a gymmerodd drachefn ei gorph, gyd â chnawd ac esgyrn, a phob peth a berthyn i Berffeithrwydd Naturiaeth Dŷn; â'r hyn y dyrchafodd efe i'r Nefoedd, ac yno y mae yn eistedd hyd oni ddychwelo i farnu pob dŷn y dydd diweddaf.

### V. *Am yr Yspryd Glân.*

YR Yspryd Glân, yn deilliaw oddi wrth y Tad a'r Mab, sydd o un Sylwedd, Mawrhydi, a Gogoniant, â'r Tad a'r Mab, gwir a thragywyddol Dduw.

### VI. *Bod yr Ysgrythyr Lân yn ddigonol i Iachawdwriaeth.*

Y Mae'r Ysgrythyr Lân yn cynnwys pob peth angenrheidiol i Iachawdwriaeth: fel nad ydys yn gofyn bod i neb gredu beth bynnag ni ddarllenir ynddi, neu ni ellir ei brofi wrthi, megis Erthygl o'r Ffydd, na'i fod yn anghenrhaid i Iachawdwriaeth.

Dan enw'r Ysgrythyr Lân yr ydym yn deall y cyfryw Lyfrau Canonaidd o'r Hen Destament a'r Newydd, a'r ni bu erioed ddim ammeu yn yr Eglwys am eu Hawdurdod.

Enwau a rhifedi y Llyfrau Canonaidd.

| | |
|---|---|
| GENESIS. | I. *Chronicl.* |
| *Exodus.* | II. *Chronicl.* |
| *Lefiticus.* | I. *Esdras*; neu, *Ezra.* |
| *Numeri.* | II. *Esdras*; neu, *Nehemïah.* |
| *Deuteronomium.* | *Esther.* |
| *Josua.* | *Job.* |
| *Barnwŷr.* | *Psalmau.* |
| *Ruth.* | *Diarhebion.* |
| I. *Samuel.* | *Ecclesiastes*; neu, *y Pregethwr.* |
| II. *Samuel.* | *Cantica*; neu, *Ganiadau Salomon.* |
| I. *Brenhinoedd.* | *Y IV. Prophwyd mwyaf.* |
| II. *Brenhinoedd.* | *Y XII. Prophwyd lleiaf.* |

A'r Llyfrau eraill (fel y dywaid *Hierom*) y mae'r Eglwys yn eu darllain er siampl buchedd, ac addysg moesau; etto nid yw yn eu gosod i sicrhâu un athrawiaeth.

Y cyfryw yw y rhai sy'n canlyn.

| | |
|---|---|
| III. *Esdras.* | *Baruch Brophwyd.* |
| IV. *Esdras.* | *Cân y tri Llangc.* |
| *Tobit.* | *Histori Susanna.* |
| *Judeth.* | *Histori Bel a'r Ddraig.* |
| *Y ddarn arall o Lyfr Esther.* | *Gweddi Manasses.* |
| *Llyfr y Doethineb.* | I. *Maccabeaid.* |
| *Llyfr Iesu fab Sirac.* | II. *Maccabeaid.* |

Holl Lyfrau y Testament Newydd, fel yr ydys yn eu derbyn yn gyffredin, yr ydym ni yn eu derbyn, ac yn eu cyfrif yn Ganonaidd.

### VII. *Am yr Hen Destament.*

NID yw'r Hen Destament wrthwyneb i'r Newydd: oblegid yn yr Hen Destament a'r Newydd y cynnygir bywyd tragywyddol i ddyn trwy Grist, yr hwn yw'r unig Gyfryngwr rhwng Duw a dŷn, ac efe yn Dduw ac yn Ddyn. Am hynny nid iawn gwrando ffuant y rhai sy'n tybied nad oedd yr hen Dadau yn disgwyl ond am Addewidion trangcedig. Er nad yw'r Gyfraith a roddwyd gan Dduw trwy *Moses*, hyd y perthyn i Seremoniau a Chynheddfau, yn rhwymo Cristianogion, ac nad yw anghenrhaid derbyn ei Gorchymynion hi am Lywodraeth bydol mewn un Wlad; etto er hynny nid oes un Cristion yn rhŷdd oddi wrth Ufudd-dod i'r Gorchymynion a elwir Moesawl.

### VIII. *Am y tri Chredo.*

Y Tri Chredo, sef, Credo *Nicea*, Credo *Athanasius*, a'r hwn a elwir yn gyffredin Credo'r *Apostolion*, a ddylid yn gwbl eu derbyn a'u credu: oblegid fe ellir eu profi trwy ddiddadl warantrwydd yr Ysgrythyr Lân.

### IX. *Am Bechod Gwreiddiol, neu Anedigol.*

NID yw Pechod Gwreiddiol yn sefyll o ddilyn *Adda* (megis yr ofer siarad y *Morganiaid*) eithr bai a llygredigaeth natur pob dŷn ydyw a'r a genhedlir yn naturiol o hil *Adda*, trwy'r hyn y mae dŷn wedi myned yn dra-phell oddi wrth gyfiawnder gwreiddiol, ac yw o'i naturiaeth ei hun â'i ddychwant ar ddrygioni, megis y mae'r cnawd bob amser yn chwennychu yn erbyn yr Yspryd; ac am hynny ym mhob dŷn a enir i'r byd hwn, yr haeddai ddigofaint Duw, a damnedigaeth. Ac y mae'r llwgr natur yma yn aros, ïe, yn y rhai a adgenhedlwyd; o herwydd paham nid yw chwant y cnawd, a elwir yn Roeg, φρόνημα σαρκὸς; yr hyn a ddeongl rhai *doethineb*, rhai *gwŷn*, rhai *tuedd*, rhai *chwant y cnawd*, yn ddarostyngedig i Gyfraith Dduw. Ac er nad oes damnedigaeth i'r rhai a gredant, ac a fedyddir; etto mae'r Apostol yn cyfaddef, fod mewn gwŷn a thrachwant, o hono ei hun, naturiaeth pechod.

### X. *Am Ewyllys Rhŷdd.*

CYFRYW yw cyflwr dŷn, wedi Cwymp *Adda*, na's gall o'i nerth naturiol a'i weithredoedd da ei hun ymchwelyd nac ymddarparu i Ffydd, ac i alw ar Dduw: o herwydd paham ni allwn ni wneuthur gweithredoedd da, hoff a chymmeradwy gan Dduw, heb Ras Duw trwy Grist yn ein rhagflaenu, fel y bo ynom ewyllys da, ac yn cyd-weithio â ni, wedi y dêl ynom yr ewyllys da hwnnw.

### XI. *Am Gyfiawnhâd Dŷn.*

FE'N cyfrifir yn gyfiawn ger bron Duw, yn unig er mwyn Haeddedigaethau ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist, trwy Ffydd, ac nid o herwydd ein gweithredoedd neu ein haeddiant ein hunain. Am hynny Athrawiaeth gwbl-iachus, dra-llawn o ddiddanwch, yw, Mai trwy Ffydd yn unig y'n cyfiawnhêir ni; fel yr hyspysir yn helaethach yn yr Homili am Gyfiawnhâd.

### XII. *Am Weithredoedd da.*

ER na ddichon Gweithredoedd da, y rhai yw ffrwyth Ffydd, ac sy'n canlyn Cyfiawnhâd, ddileu ein pechodau, a goddef eithaf cyfiawn Farn Duw; etto maent yn foddlon ac yn gymmeradwy gan Dduw yng Nghrist, ac yn tarddu yn angenrheidiol allan o wir a bywiol Ffydd; yn gymmaint ag y gellir adnabod Ffydd fywiol wrthynt hwy, mor amlwg ag y gellir adnabod y pren wrth y ffrwyth.

### XIII. *Am Weithredoedd cyn Cyfiawnhâd.*

NID yw'r gweithredoedd a wneler cyn (cael) Gras Crist, ac Ysprydoliaeth ei Yspryd ef, yn boddloni Duw, yn gymmaint ag nad ydynt yn tarddu o Ffydd yn Iesu Grist; ac nid ŷnt chwaith yn gwneuthur dynion yn addas i dderbyn Gras, neu (fel y dywaid yr Ysgol-Ddifinwŷr) yn haeddu Gras o gymhesurwydd: eithr yn hytrach, am nad ydys yn eu gwneuthur megis yr ewyllysiodd ac y gorchymynodd Duw eu gwneuthur hwynt, nid ydym yn ammeu nad oes natur pechod ynddynt.

### XIV. *Am Weithredoedd dros ben a orchymynwyd.*

GWEITHREDOEDD o ewyllys dŷn ei hun, heb law a thros ben Gorchymynion Duw, y rhai a alwant yn Weithredoedd *Supererogasion*, ni ellir eu dysgu heb ryfyg ac annuwioldeb. Oblegid trwyddynt y mae dynion yn dangos eu bod yn talu i Dduw, nid yn unig cymmaint ag y maent yn rhwymedig i'w gwneuthur, ond eu bod yn gwneuthur mwy er ei fwyn ef nag sydd angenrheidiol wrth rwymedig ddyled; lle y mae Crist yn dywedyd yn oleu, Gwedi i chwi wneuthur y cwbl oll a'r a orchymynwyd i chwi, dywedwch, Gweision anfuddiol ydym.

XV. *Am Grist yn unig yn ddibechod.*

CRIST, yngwirionedd ein naturiaeth ni, a wnaethpwyd yn gyffelyb i ni ym mhob peth, oddi eithr pechod yn unig, yr hwn yr oedd efe yn gwbl iach oddi wrtho, yn gystal yn ei gnawd ac yn ei yspryd. Efe a ddaeth i fod yn Oen difrycheulyd, yr hwn, trwy ei aberthu ei hun unwaith, a ddileai bechodau 'r byd: a phechod (fel y dywaid S. *Ioan*) nid oedd ynddo ef. Eithr nyni bawb eraill (er ein bedyddio a'n hail-eni yng Nghrist) ydym er hynny yn llithro mewn llawer o bethau; ac os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom.

XVI. *Am Bechod gwedi Bedydd.*

NID yw pob pechod marwol a wneler o wirfodd gwedi Bedydd, yn bechod yn erbyn yr Yspryd Glân, ac yn anfaddeuol. O herwydd paham, nid iawn naccâu caniattâd edifeirwch i'r sawl a syrthiant mewn pechod ar ol Bedydd. Gwedi darfod i ni dderbyn yr Yspryd Glân, ni a allwn ymadael â'r Gras a roddwyd i ni, a syrthio mewn pechod, a thrwy Ras Duw gyfodi drachefn, a gwellhau ein bucheddau. Ac am hynny y mae 'r rheiny i'w condemnio, a ddywedant, na allant bechu mwy tra byddont byw yma; neu a wadant, nad oes lle i'r rhai a wir-edifarhao i gael maddeuant.

XVII. *Am Ragluniaeth ac Etholedigaeth.*

RHAGLUNIAETH i fywyd yw tragywyddol Arfaeth Duw, trwy 'r hon (cyn gosod seiliau 'r byd) y darfu iddo trwy ei Gynghor, dirgel i ni, ddianwadal derfynu gwared, oddi wrth felldith a damnedigaeth, y rhai a ddarfu iddo ddethol yng Nghrist o ddynolryw, a'u dwyn trwy Grist i Iachawdwriaeth dragywyddol, megis llestri a wnaethpwyd i anrhydedd. O herwydd paham, y rhai a ddarfu i Dduw eu cynnysgaeddu â chyfryw ragorol ddawn, a alwyd yn ol Arfaeth Duw, trwy ei Yspryd ef yn gweithio mewn pryd amserol: hwynt-hwy sydd trwy ras yn ufuddhâu i'r galwedigaeth: hwynt-hwy a gyfiawnheir yn rhad: hwynt-hwy a wneir yn feibion i Dduw trwy fabwys: hwynt-hwy a wneir yn gyffelyb i ddelw ei unig-anedig Fab ef Iesu Grist: hwynt-hwy a rodiant yn grefyddol mewn gweithredoedd da; ac o'r diwedd, trwy Drugaredd Duw, a feddiannant ddedwydd-fyd tragywyddol.

Megis y mae duwiol ystyried Rhagluniaeth, a'n Hetholedigaeth ni yng Nghrist, yn llawn o ddiddanwch melus, hyfryd, ac annhraethol, i'r Duwiolion, a'r rhai sydd yn clywed ynddynt eu hunain weithrediad Yspryd Crist, yn marwhâu gweithredoedd y cnawd a'u haelodau daearol, ac yn tynnu i fynu eu meddwl at bethau uchel a nefol; yn gystal oblegid ei fod yn cadarnhâu yn fawr ac yn cryfhâu eu ffydd am Iachawdwriaeth dragywyddol, i'w mwynhâu trwy Grist, ag oblegid ei fod yn gwresog ennynu eu cariad tu ag at Dduw: felly i'r rhai manylaidd a chnawdol, sy heb Yspryd Crist ganddynt, y mae bod Barn Rhagluniaeth Duw yn wastadol ger bron eu llygaid, yn dramgwydd tra pheryglus, trwy 'r hwn mae 'r diafol yn eu gwthio, naill ai i anobaith, ai ynte i ddifrawwch aflanaf fuchedd, nid dim llai peryglus nag anobaith.

Heb law hynny, mae'n rhaid i ni dderbyn Addewidion Duw yn y cyfryw fodd ag y maent wedi eu gosod allan i ni yn gyffredin yn yr Ysgrythyr Lân; ac yn ein gweithredoedd ganlyn Ewyllys Duw, yr hon a eglurwyd i ni yn amlwg yng Ngair Duw.

XVIII. *Am gaffael Iachawdwriaeth dragywyddol trwy Enw Crist yn unig.*

Y Mae'n rhaid hefyd cyfrif yn felldigedig y sawl a ryfygant ddywedyd y bydd pob dyn yn gadwedig trwy 'r Gyfraith neu 'r Sect y mae yn ei phroffesu, os bydd efe diwyd i lunio ei fuchedd yn ol y Gyfraith honno, a Goleuni Natur. Canys y mae 'r Ysygrythr Lân yn gosod allan i ni yn unig Enw Iesu Grist, trwy 'r hwn y bydd raid i ddynion fod yn gadwedig.

XIX. *Am yr Eglwys.*

EGLWYS weledig Crist yw Cynnulleidfa y Ffyddloniaid, yn yr hon y pregethir pur Air Duw, ac y ministrir y Sacramentau yn ddyladwy yn ol ordinhâd Crist, ym mhob peth a'r sydd angenrheidiol eu bod yn yr unrhyw.

Megis y cyfeiliornodd Eglwys *Caersalem, Alexandria,* ac *Antiochia*; felly hefyd y cyfeiliornodd Eglwys *Rufain,* nid yn unig yn eu buchedd a dull eu Seremoniau, eithr hefyd mewn matterion Ffydd.

XX. *Am Awdurdod yr Eglwys.*

Y Mae i'r Eglwys Allu i osod Cynheddfau a Seremoniau, ac Awdurdod mewn Amrafaelion ynghylch y Ffydd; ac etto nid cyfreithlawn i'r Eglwys ordeinio dim a'r y sydd wrthwyneb i 'sgrifenedig Air Duw, ac ni's gall felly esponio un lle o'r Ysgrythyr Lân, fel y bo yn wrthwyneb i le arall. Am hynny, er bod yr Eglwys yn Dyst ac yn Geidwad ar yr Ysgrythyr Lân; er hynny, megis na's dylai hi ordeinio dim yn erbyn yr unrhyw, felly heb law'r unrhyw ni ddylai hi gymmell dim i'w gredu er anghenrhaid i Iachawdwriaeth.

XXI. *Am Awdurdod Cynghorau Cyffredin.*

CYNGHORAU Cyffredin ni's gellir eu casglu ynghŷd heb Orchymyn ac Ewyllys Tywysogion. Ac wedi eu casglu ynghŷd (yn gymmaint ag nad ydynt ond Cynnulleidfa o ddynion, o'r rhai ni lywodraethir pawb gan Yspryd a Gair Duw) hwy a allant gyfeiliorni, ac weithiau fe ddarfu iddynt gyfeiliorni, a hynny mewn pethau a berthynant i Dduw. O herwydd paham, y pethau a ordeinir ganddynt megis yn anghenrhaid i Iachawdwriaeth, nid oes iddynt na nerth nac awdurdod, oni ellir dangos ddarfod eu tynnu allan o'r Ysgrythyr Lân.

XXII. *Am y Purdan.*

NID yw Athrawiaeth Eglwys *Rufain* ynghylch Purdan, Pardynau, anrhydeddu ac addoli Delwau a Chreiriau, ac hefyd galw a gweddïo ar y Saint, ond peth ysmala, o wag ddychymmyg, ac heb ei seilio ar un warant o'r Ysgrythyr Lân, ond yn hytrach yngwrthwyneb i Air Duw.

XXIII. *Am Weini yn y Gynnulleidfa.*

NID cyfreithlawn i neb gymmeryd arno Swydd pregethu ar gyhoedd, neu finistrio y Sacramentau yn y Gynnulleidfa, hyd oni alwer ef yn gyfreithlawn, a'i ddanfon i wasanaethu 'r unrhyw. A'r rheiny a ddylem ni farnu eu bod wedi eu galw yn gyfreithlon a'u danfon, a ddetholwyd ac a alwyd i'r gwaith hwn gan Ddynion sy ag Awdurdod gyhoedd wedi ei rhoddi iddynt yn y Gynnulleidfa, i alw a danfon Gweinidogion i Winllan yr Arglwydd.

XXIV. *Am Lefaru yn y Gynnulleidfa yn y cyfryw Dafodiaith ag a ddeallo 'r Bobl.*

PETH llwyr wrthwyneb i Air Duw, ac i arfer y Brif Eglwys gynt, yw, gweddïo yn gyhoedd yn yr Eglwys, neu ministrio 'r Sacramentau, mewn Tafodiaith ni bo 'r bobl yn ei deall.

XXV. *Am y Sacramentau.*

NID yw'r Sacramentau a ordeiniwyd gan Grist, yn unig yn arwyddion neu yn argoelion o Broffes Cristianogion; ond yn hytrach y maent yn rhyw dystion dïogel ac arwyddion effeithiol o Ras Duw, a'i Ewyllys da tu ag attom ni, trwy y rhai y mae efe yn gweithio yn anweledig ynom ni; ac nid yn unig yn bywhâu, ond hefyd yn nerthu ac yn cadarnhâu ein ffydd ni ynddo ef.

Y mae dau Sacrament a ordeiniwyd gan Grist ein Harglwydd yn yr Efengyl; sef, Bedydd, a Swpper yr Arglwydd.

Y pump hynny a elwir yn gyffredinol yn Sacramentau; sef, Conffirmasiwn, Penyd, Urddau, Priodas, ac Enneiniad diweddaf; nid iawn eu cyfrif yn Sacramentau'r Efengyl, eithr yn gyfryw ag a dyfasant, rhai o lygredig ddilyn yr Apostolion, rhai ydynt ystâd o fuchedd a gymmeradwyir yn yr Ysgrythyr Lân: ond etto nid oes ynddynt gyffelyb natur Sacramentau, ag mewn Bedydd a Swpper yr Arglwydd; am nad oes ynddynt nac arwydd gweledig na Seremoni a ordeiniwyd gan Dduw.

Ni ordeiniwyd mo'r Sacramentau gan Grist i lygad-rythu arnynt, neu i'w dwyn oddi amgylch; ond er mwyn bod i ni eu harfer yn ddyledus. Ac yn y cyfryw rai yn unig a'r sydd yn eu derbyn yn deilwng, y mae ganddynt effaith neu weithrediad iachus: ond y sawl a'u derbyniant yn annheilwng, a ynnillant iddynt eu hunain farnedigaeth; fel y dywaid Sant *Paul.*

XXVI. *Nad yw Annheilyngdod y Gweinidogion yn rhwystro Gweithrediad y Sacramentau.*

Er bod yn yr Eglwys weledig bob amser rai drwg ynghymmysg â'r rhai da, a bod weithiau i'r rhai drwg yr awdurdod bennaf yngweinidogaeth y Gair a'r Sacramentau; etto, yn gymmaint ag nad ydynt yn gwneuthur hynny yn eu henw eu hunain, ond yn Enw Crist, ac mai trwy ei Gommissiwn a'i Awdurdod ef y maent yn gweini; nyni a allwn arfer eu gweinidogaeth hwy, trwy wrando'r Gair, a derbyn y Sacramentau. Ac nid yw eu hanwiredd hwy yn tynnu ymaith ffrwyth Ordinhâd Crist, nac yn lleihâu Gras Doniau Duw oddi wrth y cyfryw rai a'r sydd trwy ffydd yn iawn dderbyn y Sacramentau a finistrir iddynt, y rhai sy effeithiol oblegid Ordinhâd Crist a'i Addewid, er eu ministrio gan ddynion drwg.

Er hynny i gŷd, fe berthyn i ddisgyblaeth yr Eglwys, bod ymofyn am Weinidogion drwg, a bod i'r rhai a fo'n gwybod eu beiau, achwyn arnynt: ac o'r diwedd, gwedi eu cael yn euog, trwy farn gyfiawn bod eu diswyddo.

XXVII. *Am Fedydd.*

Nid yw Bedydd yn unig yn arwydd o Broffes, neu yn nôd gwahaniaeth, i adnabod Cristianogion oddi wrth Anghristianogion: eithr y mae hefyd yn arwydd o'r Adgenhedliad, neu'r Ail-enedigaeth; trwy'r hyn, megis trwy offeryn, yr impir yn yr Eglwys y rhai a dderbyniant Fedydd yn iawn; yr arwyddir yn weledig, ac y selir trwy'r Yspryd Glân, yr addewidion am faddeuant pechodau, a'n mabwysiad i fod yn feibion i Dduw; y cadarnheir Ffydd, ac yr anghwanegir Gras, trwy rinwedd gweddi at Dduw. Bedydd Plant ieuaingc a ddylid er dim ei gadw yn yr Eglwys, megis peth yn cwbl gyttuno ag Ordinhâd Crist.

XXVIII. *Am Swpper yr Arglwydd.*

Nid yw Swpper yr Arglwydd yn unig yn arwydd o'r Cariad a ddylai fod gan Gristianogion i'w gilydd; ond yn hytrach Sacrament yw o'n Prynedigaeth trwy Farwolaeth Crist: yn gymmaint ag i'r rhai a'i derbyniant yn iawn, yn deilwng, ac mewn ffydd, y Bara yr ydym ni yn ei dorri, sydd gyfrannogaeth Corph Crist; a'r un modd Cwppan y Fendith sydd gyfrannogaeth Gwaed Crist.

Traws-sylweddiad (neu newidiad sylwedd y Bara a'r Gwin) yn Swpper yr Arglwydd, ni ellir ei brofi wrth yr Ysgrythyr Lân; ond y mae yngwrthwyneb i eglur eiriau'r Ysgrythyr, yn dadymchwelyd naturiaeth Sacrament, ac a roddes achlysur i lawer o ofergoelion.

Corph Crist a roddir, a dderbynir, ac a fwytteir yn y Swpper, yn unig mewn modd nefol ac ysprydol. A'r cyfrwng trwy'r hwn y derbynir ac y bwytteir Corph Crist yn y Swpper, yw Ffydd.

Sacrament Swpper yr Arglwydd, wrth Ordinhâd Crist, ni roid i'w gadw, ni ddygid oddi amgylch, ni ddyrchefid, ac nid addolid.

XXIX. *Nad yw'r Annuwiolion yn bwytta Corph Crist wrth arfer Swpper yr Arglwydd.*

Yr Annuwiolion, a chyfryw rai nid oes ganddynt Ffydd fywiol, er eu bod yn gnawdol ac yn weledig â'u dannedd yn cnoi (fel y dywaid Sant *Awstin)* Sacrament Corph a Gwaed Crist; er hynny nid ydynt mewn modd yn y byd yn gyfrannogion o Grist, ond yn hytrach, i'w barnedigaeth eu hunain, yn bwytta ac yn yfed Arwydd neu Sacrament peth mor fawr.

XXX. *Am y ddau Ryw.*

Ni ddylid naccâu Cwppan yr Arglwydd i'r Llygion: canys dwy ran Sacrament yr Arglwydd, wrth ordinhâd a gorchymyn Crist, a ddylid eu ministrio i bob Cristion yn gyffelyb.

XXXI. *Am unig Aberth Crist a gyflawnwyd ar y Groes.*

Aberthiad Crist, a wnaed unwaith, sydd berffaith Brynedigaeth, Boddhâd, a Iawn dros holl bechodau'r byd i gŷd, yn gystal gwreiddiol a gweithredol; ac nid oes iawn arall am bechod, ond hwnnw yn unig. O herwydd paham, nid oedd aberthau'r Offerennau, y rhai yn gyffredin y dywedent fod yr Offeiriad yn aberthu Crist ynddynt dros y byw a'r meirw, i gael maddeuant am y gosp neu'r euogrwydd, ond chwedlau cablaidd, a siommedigaethau peryglus.

XXXII. *Am Briodas Gweinidogion.*

Ni orchymynir i Esgobion, Offeiriaid, a Diaconiaid, trwy Gyfraith Dduw, nac i addunedu ystâd buchedd sengl, nac i ymgadw rhag Priodas: am hynny mae'n gyfreithlawn iddynt hwythau, megis i bob Cristianogion eraill, wreicca yn ol eu deall eu hunain, fel y bont yn barnu fod y peth yn gwasanaethu oreu i Dduwioldeb.

XXXIII. *Am Ddynion a ysgymmunwyd, pa wedd y dylid eu gochel.*

Y Dŷn trwy eglur gyhoeddiad yr Eglwys a iawn dorrer ymaith oddi wrth undeb yr Eglwys, ac a ysgymmuner, a ddylid ei gymmeryd, gan holl liaws y Ffyddloniaid, megis Dŷn Cenhedlig a Phublican, hyd oni chymmoder ef yn gyhoedd trwy benyd, a'i dderbyn i'r Eglwys gan Farnwr y bo iddo Awdurdod i hynny.

XXXIV. *Am Draddodiadau'r Eglwys.*

Nid yw unghenrhaid bod Traddodiadau a Seremoniau ym mhob lle yn yr un modd, neu yn gwbl gyffelyb: canys hwy a fuasant bob amser o amrafael fodd, ac a ellir eu newidio mewn amrafael Wledydd, amserau, ac arferion dynion, tra na ordeinier dim yn erbyn Gair Duw. Pwy bynnag o'i farn neillduol ei hun, o'i fodd, ac o fwyr fryd, yn gyhoeddus a dorro Draddodiadau a Seremoniau'r Eglwys, y rhai nid ydynt wrthwyneb i Air Duw, ac a ordeiniwyd ac a gymmeradwywyd trwy Awdurdod gyffredin, a ddylid ei geryddu yn gyhoeddus, fel yr ofno eraill wneuthur y cyffelyb, megis un yn troseddu yn erbyn trefn gyffredin yr Eglwys, ac yn briwo Awdurdod y Llywodraethwr, ac yn archolli cydwybodau y brodyr gweinion.

Y mae gan Eglwys wahanedig pob cenedl awdurdod i ordeinio, newidio, a diddymmu Seremoniau neu Gynheddfau'r Eglwys, a ordeiniwyd yn unig trwy Awdurdod dŷn, cyd gwneler pob peth er Adeiladaeth.

XXXV. *Am Homiliau.*

Y Mae ail Lyfr yr Homiliau, y cyssylltasom eu hamryw enwau dan yr Erthygl yma, yn cynnwys Athrawiaeth dduwiol ac iachus, ac angen-

rheidiol i'r amserau hyn; megis y mae llyfr cyntaf yr Homiliau, a osodwyd allan yn amser *Edward* y Chweched: am hynny yr ydym yn barnu fod eu darllain hwy yn yr Eglwysi gan y Gweinidogion, yn ddïesgeulus, ac yn llawn-llythyr, fel y gallo'r Bobl eu deall.

¶ Am Enwau 'r Homiliau

1 *AM iawn Arfer yr Eglwys.*
2 *Yn erbyn Perygl Delw-addoliad.*
3 *Am adgyweirio a chadw Eglwysi'n lân.*
4 *Am Weithredoedd da: yn gyntaf, am Ymprydio.*
5 *Yn erbyn Glythineb a Meddwdod.*
6 *Yn erbyn Dillad rhŷ wychion.*
7 *Am Weddi.*
8 *Am Le ac Amser Gweddi.*
9 *Y dylid ministrio Gweddi Gyffredin a Sacramentau mewn Iaith gydnabyddus.*
10 *Am barchus Gymmeriad Gair Duw.*
11 *Am roi Elusen.*
12 *Am Enedigaeth Crist.*
13 *Am Ddioddefaint Crist.*
14 *Am Adgyfodiad Crist.*
15 *Am dderbyn Sacrament Corph a Gwaed Crist yn deilwng.*
16 *Am Ddoniau'r Yspryd Glân.*
17 *Ar Wythnos y Gweddiau.*
18 *Am Ystâd Priodas.*
19 *Am Edifeirwch.*
20 *Yn erbyn Seguryd.*
21 *Yn erbyn Gwrthryfel.*

XXXVI. *Am Gyssegriad Esgobion a Gweinidogion.*

MAE Llyfr Cyssegriad Arch-esgobion ac Esgobion, ac Urddiad Offeiriaid a Diaconiaid, a osodwyd allan yn ddiweddar yn amser *Edward* y Chwechcd, ac a gadarnhawyd yr un amser trwy awdurdod Parliament, yn cynnwys ynddo bob peth angenrheidiol i gyfryw Gyssegriad ac Urddiad: ac nid oes ynddo ddim y sydd o hono ei hun yn ofer-goelus, neu yn annuwiol. Ac am hynny, pwy bynnag a gyssegrwyd neu a urddwyd yn ol Cynheddfau 'r Llyfr hwnnw, er yr ail flwyddyn o'r unrhyw Frenhin *Edward* hyd yr amser yma, neu ar ol hyn a gyssegrer neu a urdder yn ol yr unrhyw Gynheddfau, yr ydym ni yn ordeinio, bod y cyfryw rai oll wedi eu cyssegru a'u hurddo yn iawn, yn drefnus, ac yn gyfreithlawn.

XXXVII. *Am Lywodraethwŷr Dinasaidd.*

MAWRHYDI y Brenhin bïau y Gallu pennaf o fewn y Deyrnas hon o *Loegr*, ac eraill o'i Arglwyddiaethau; i'r hwn y perthyn pen Rheolaeth pob Ystâd y Deyrnas hon, pa un bynnag font ai Eglwysig ai Dinasaidd, ym mhob rhyw achosion: ac nid yw, ac ni's dylai fod, yn ddarostyngedig i un Llywodraeth estronol.

Lle'r ydym yn rhoi i Fawrhydi'r Brenhin y Llywodraeth bennaf, wrth ba enwau yr ydym ni yn deall fod meddyliau rhyw bobl enllibus yn ymrwystro; nid ydym ni yn caniattâu i'n Tywysogion na Gweinidogaeth Gair Duw, na'r Sacramentau; yr hyn beth hefyd y mae'r Gorchymyn a osodwyd allan yn ddiweddar gan ein Brenhines *Elisabeth*, yn ei dystiolaethu'n gwbl eglur: ond y Rhagorfraint hwnnw'n unig, yr ydym yn gweled ei roi bob amser i bob Tywysogion duwiol yn yr Ysgrythyr Lân gan Dduw ei hun; hynny yw, y dylent lywodraethu ar bob ystâd a gradd a orchymynwyd dan eu gofal gan Dduw, pa un bynnag fyddont ai Eglwysig ai Tymhorol, ac attal â'r cleddyf dinasaidd y rhai cyndyn a'r drwg-weithredwŷr.

Nid oes i Esgob *Rhufain* Lywodraeth o fewn y Deyrnas hon o *Loegr*.

Fe ddichon Cyfreithiau y Deyrnas gospi Cristianogion ag angau, am feiau ysgeler, trymion.

Y mae'n gyfreithlawn i Gristianogion, wrth orchymyn y Llywodraeth, wisgo arfau, a gwasanaethu yn y rhyfel.

XXXVIII. *Am Olud Cristianogion, nad yw gyffredin.*

NID yw Golud Cristianogion gyffredin, o herwydd eu cyfiawnder, a'u titl, a'u meddiant arnynt; megis y mae rhyw Anabaptistiaid yn gwag ymffrostio. Er hynny, fe ddylai pob dŷn, o'r cyfryw bethau a fo yn ei helw, roi elusen yn hael i'r tlawd, yn ol ei allu.

XXXIX. *Am Lw Cristion.*

MEGIS yr ydym yn cyfaddef, bod llwon ofer ac ehud wedi eu gwahardd i Gristianogion, gan ein Harglwydd Iesu Grist, a'i Apostol *Iago*; felly yr ydym yn barnu, nad yw Crefydd Gristianogol yn gwahardd, na's gall dŷn dyngu pan fo'r Llywodraethwr yn erchi, mewn matter o Ffydd a Chariad perffaith, trwy fod gwneuthur hynny yn ol addysg y Prophwyd, mewn Cyfiawnder, a Barn, a Gwirionedd.

Y SICRHAD.

*Y Llyfr hwn o'r Erthyglau rhag-ddywededig, a brofwyd drachefn, ac a gymmeradwywyd i'w gynnal a'i arfer o fewn y Deyrnas, trwy Gyttundeb a Chyd-syniad ein goruchaf Arglwyddes* ELISABETH, *trwy Ras Duw, Brenhines* Lloegr, Ffrainc, *a'r* Iwerddon, *Ymddiffynnydd y Ffydd,* &c. *a chwedi hynny trwy Gyd-syniad ein goruchaf Arglwydd Frenhin* IAGO I. *trwy Ras Duw, Brenhin* Brydain Fawr, Ffrainc, *a'r* Iwerddon, *Ymddiffynnydd y Ffydd,* &c. *Y rhyw Erthyglau a ddarllenwyd yn hwyllig, ac a gadarnhawyd drachefn dan ddwylaw'r Arch-esgob a'r Esgobion o'r Tŷ uchaf, a than ddwylaw'r holl Eglwyswŷr o'r Tŷ isaf, yn eu Cymmanfa, yn y flwyddyn o oedran yr Arglwydd* 1571. *Ac yn gyffelyb yn y Gymmanfa a gynhaliwyd yn y flwyddyn o oedran yr Arglwydd* 1604.

# TABL

## Y NAMYN UN DEUGAIN

## ERTHYGLAU.


1 *AM Ffydd yn y Drindod Sanctaidd.*
2 *Am y Gair, neu Fab Duw, yr hwn a wnaethpwyd yn wir Ddyn.*
3 *Am Ddisgyniad Crist i Uffern.*
4 *Am Adgyfodiad Crist.*
5 *Am yr Yspryd Glan.*
6 *Bod yr Ysgrythyr Lan yn ddigonol i Iachawdwriaeth.*
7 *Am yr Hen Destament.*
8 *Am y tri Chredo.*
9 *Am Bechod Gwreiddiol, neu Anedigol.*
10 *Am Ewyllys Rhydd.*
11 *Am Gyfiawnhad Dyn.*
12 *Am Weithredoedd da.*
13 *Am Weithredoedd cyn Cyfiawnhad.*
14 *Am Weithredoedd dros ben a orchymynwyd.*
15 *Am Grist yn unig yn ddibechod.*
16 *Am Bechod gwedi Bedydd.*
17 *Am Ragluniaeth ac Etholedigaeth.*
18 *Am gaffael Iachawdwriaeth dragywyddol trwy Enw Crist yn unig.*
19 *Am yr Eglwys.*
20 *Am Awdurdod yr Eglwys.*
21 *Am Awdurdod Cynghorau Cyffredin.*
22 *Am y Purdan.*
23 *Am Weini yn y Gynnulleidfa.*
24 *Am Lefaru yn y Gynnulleidfa yn y cyfryw Dafodiaith ag a ddeallo'r Bobl.*
25 *Am y Sacramentau.*
26 *Nad yw Annheilyngdod y Gweinidogion yn rhwystro Gweithrediad y Sacramentau.*
27 *Am Fedydd.*
28 *Am Swpper yr Arglwydd.*
29 *Nad yw'r Annuwiolion yn bwytta Corph Crist wrth arfer Swpper yr Arglwydd.*
30 *Am y ddau Ryw.*
31 *Am unig Aberth Crist a gyflawnwyd ar y Groes.*
32 *Am Briodas Gweinidogion.*
33 *Am Ddynion a ysgymmunwyd, pa wedd y dylid eu gochel.*
34 *Am Draddodiadau'r Eglwys.*
35 *Am Homiliau.*
36 *Am Gyssegriad Esgobion a Gweinidogion.*
37 *Am Lywodraethwyr Dinasaidd.*
38 *Am Olud Cristianogion, nad yw gyffredin.*
39 *Am Lw Cristion.*

# TABL

## Y GRADDAU CARENNYDD A CHYFATHRACH,

GWAHARDDEDIG YN YR YSGRYTHYR, AC WRTH EIN CYFREITHIAU NINNAU, I NEB BRIODI YNDDYNT.

*Nid oes i Fab briodi*

1 EI Nain,
2 Gwraig ei Daid,
3 Nain ei Wraig.

4 Chwaer ei Dad,
5 Chwaer ei Fam,
6 Gwraig Brawd ei Dad.

7 Gwraig Brawd ei Fam,
8 Chwaer Tad ei Wraig,
9 Chwaer Mam ei Wraig.

10 Ei Fam,
11 Ei Lysfam,
12 Mam ei Wraig.

13 Ei Ferch,
14 Merch ei Wraig,
15 Gwraig ei Fab.

16 Ei Chwaer,
17 Chwaer ei Wraig,
18 Gwraig ei Frawd.

19 Merch ei Fab,
20 Merch ei Ferch,
21 Gwraig Mab ei Fab.

22 Gwraig Mab ei Ferch,
23 Merch Mab ei Wraig,
24 Merch Merch ei Wraig.

25 Merch ei Frawd,
26 Merch ei Chwaer,
27 Gwraig Mab ei Frawd.

28 Gwraig Mab ei Chwaer,
29 Merch Brawd ei Wraig,
30 Merch Chwaer ei Wraig.

*Nid oes i Ferch briodi*

1 EI Thaid,
2 Gwr ei Nain,
3 Taid ei Gwr.

4 Brawd ei Thad,
5 Brawd ei Mam,
6 Gwr Chwaer ei Thad.

7 Gwr Chwaer ei Mam,
8 Brawd Tad ei Gwr,
9 Brawd Mam ei Gwr.

10 Ei Thad,
11 Ei Llysdad,
12 Tad ei Gwr.

13 Ei Mab,
14 Mab ei Gwr,
15 Gwr ei Merch.

16 Ei Brawd,
17 Brawd ei Gwr,
18 Gwr ei Chwaer.

19 Mab ei Mab,
20 Mab ei Merch,
21 Gwr Merch ei Mab.

22 Gwr Merch ei Merch,
23 Mab Mab ei Gwr,
24 Mab Merch ei Gwr.

25 Mab ei Brawd,
26 Mab ei Chwaer,
27 Gwr Merch ei Brawd.

28 Gwr Merch ei Chwaer,
29 Mab Brawd ei Gwr,
30 Mab Chwaer ei Gwr.

*TERFYN.*

# Y

# BIBL

# CYSSEGR-LAN;

SEF,

# Yr Hen Destament

A'R

# NEWYDD.

2 TIM. III. 16, 17.

*Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan Ysprydoliaeth Dduw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu; i hyfforddi mewn cyfiawnder:*

*Fel y byddo dŷn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda.*

ARGRAPHIAD CYFARGRAPH.

RHYDYCHEN:

*Argraphedig yn Argraphdy Clarendon,*

GAN BENSLEY, COOKE, A COLLINGWOOD,

ARGRAPHWYR I'R BRIF-YSGOL;

Ac a werthir gan E. GARDNER, yn Ystôr-dŷ Biblau Rhydychen, Pater noster Row, Llundain.

1813.

*Cum Privilegio.*

## ENWAU A THREFN LLYFRAU'R HEN DESTAMENT A'R NEWYDD, A RHIFEDI PENNODAU POB LLYFR.

### *LLYFRAU'R HEN DESTAMENT.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| GENESIS | Pen. 50 | Pregethwr | Pen. 12 |
| Exodus | 40 | Caniad Salomon | 8 |
| Lefiticus | 27 | Esay | 66 |
| Numeri | 36 | Jeremi | 52 |
| Deuteronomium | 34 | Galarnad Jeremi | 5 |
| Josua | 24 | Ezeciel | 48 |
| Barnwŷr | 21 | Daniel | 12 |
| Ruth | 4 | Hosea | 14 |
| I. Samuel | 31 | Joel | 3 |
| II. Samuel | 24 | Amos | 9 |
| I. Brenhinoedd | 22 | Obadïah | 1 |
| II. Brenhinoedd | 25 | Jonah | 4 |
| I. Chronicl | 29 | Michah | 7 |
| II. Chronicl | 36 | Nahum | 3 |
| Ezra | 10 | Habacuc | 3 |
| Nehemïah | 13 | Sephanïah | 3 |
| Esther | 10 | Haggai | 2 |
| Job | 42 | Zecharïah | 14 |
| Psalmau | 150 | Malachi | 4 |
| Diarhebion | 31 | | |

### *LLYFRAU A ELWIR APOCRYPHA.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| I. ESDRAS | Pen. 9 | Baruch ac Epistol Jeremi | Pen. 6 |
| II. Esdras | 16 | Cân y tri Llangc | |
| Tobit | 14 | Histori Susanna | |
| Judith | 16 | Histori Bel a'r Ddraig | |
| Y rhan arall o lyfr Esther | 6 | Gweddi Manasses | |
| Doethineb Salomon | 19 | I. Maccabeaid | 16 |
| Ecclesiasticus | 51 | II. Maccabeaid | 15 |

### *LLYFRAU'R TESTAMENT NEWYDD.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| SANT MATTHEW | Pen. 28 | I. at Timotheus | Pen. 6 |
| Sant Marc | 16 | II. at Timotheus | 4 |
| Sant Luc | 24 | At Titus | 3 |
| Sant Ioan | 21 | At Philemon | 1 |
| Actau 'r Apostolion | 28 | At yr Hebreaid | 13 |
| Epistol S. Paul at y Rhufeiniaid | 16 | Epistol Iago | 5 |
| I. at y Corinthiaid | 16 | Epistol I. Petr | 5 |
| II. at y Corinthiaid | 13 | II. Epistol Petr | 3 |
| At y Galatiaid | 6 | Epistol I. Ioan | 5 |
| At yr Ephesiaid | 6 | II. Epistol Ioan | 1 |
| At y Philippiaid | 4 | III. Epistol Ioan | 1 |
| At y Colossiaid | 4 | Epistol Judas | 1 |
| I. at y Thessaloniaid | 5 | Datguddiad Ioan | 22 |
| II. at y Thessaloniaid | 3 | | |

# LLYFR CYNTAF MOSES,

YR HWN A ELWIR

# GENESIS.

## PENNOD I.

Septuagesima, B. Sul y *1 Creadwriaeth nef a daear, 3 a'r goleuni, 6*
Drindod, *a'r ffurfafen. 9 Neillduo'r ddaear oddi*
B. Ionawr *wrth y dyfroedd, 11 a'i gwneuthur yn*
2. B. *ffrwythlon. 14 Yr haul, y lleuad, a'r ser;*
*20 y pysgod a'r adar, 24 yr anifeiliaid,*
Cyn *26 dyn ar lun Duw. 29 Ordeinio lluniaeth*
Crist *ac ymborth.*
4004.

[a] Ioan 1. 1. [a] YN [b] y dechreuad y creodd Duw y
[b] Psal. 33. 6. nefoedd a'r ddaear.
a 89. 11, 12. 2 A'r ddaear oedd afluniaidd a gwag, a
a 102. 25. a thywyllwch *oedd* ar wyneb y dyfnder, ac
136. 5. a Yspryd Duw yn ymsymmud ar wyneb y
146. 6. Esa. 44. 24. dyfroedd.
Jer. 10. 12. a 51. 15. 3 A Duw a ddywedodd, [c] Bydded goleu-
Zec. 12. 1. ni, a goleuni a fu.
Act. 14. 15. a 17. 24. 4 A Duw a welodd y goleuni mai da
Heb. 11. 3. *oedd:* a Duw a wahanodd rhwng y goleuni
[c] 2 Cor. 4. 6. ‡ a'r tywyllwch.
‡ Heb. *a rhwng y.* 5 A Duw a alwodd y goleuni yn Ddydd,
a'r tywyllwch a alwodd efe yn Nos: a'r hwyr
a fu, a'r bore a fu, y dydd cyntaf.
[d] Ps. 136. 5. 6 ¶ Duw hefyd a ddywedodd, [d] Bydded
Jer. 10. 12. ffurfafen ynghanol y dyfroedd, a bydded hi
a 51. 15. yn gwahanu rhwng y dyfroedd a'r dyfroedd.
7 A Duw a wnaeth y ffurfafen, ac a wa-
hanodd rhwng y dyfroedd oddi tan y ffur-
[e] Ps. 148. 4. fafen, a'r dyfroedd [e] oddi ar y ffurfafen: ac
felly y bu.
8 A'r ffurfafen a alwodd Duw yn Nef-
oedd: a'r hwyr a fu, a'r bore a fu, yr ail
dydd.
[f] Job 26. 10. 9 ¶ Duw hefyd a ddywedodd, [f] Casgler
a 38. 8. Psal. 33. 7. y dyfroedd oddi tan y nefoedd i'r un lle, ac
a 104. 9. ymddangosed y sychdir: ac felly y bu.
a 136. 6. 10 A'r sychdir a alwodd Duw yn Ddaear,
Di. 8. 29. Jer. 5. 22. a chasgliad y dyfroedd a alwodd efe yn For-
oedd: a Duw a welodd mai da *oedd.*
11 A Duw a ddywedodd, Egined y ddaear
egin, *sef* llysiau yn hadu had, a phrennau
ffrwythlawn yn dwyn ffrwyth, wrth eu
rhywogaeth, y rhai *y mae* eu had ynddynt
ar y ddaear: ac felly y bu.
12 A'r ddaear a ddug egin, *sef* llysiau yn
hadu had wrth eu rhywogaeth, a phrennau
yn dwyn ffrwyth, y rhai *y mae* eu had yn-
ddynt wrth eu rhywogaeth: a Duw a
welodd mai da *oedd.*
13 A'r hwyr a fu, a'r bore a fu, y trydydd
dydd.
14 ¶ Duw hefyd a ddywedodd, Bydded
[g] Deut. 4. 19. [g] goleuadau yn ffurfafen y nefoedd, i waha-
Psal. 136. 7. nu rhwng y dydd ‡ a'r nos; a byddant yn
‡ Heb. *a rhwng y.* arwyddion, ac yn dymhorau, ac yn ddydd-
iau, a blynyddoedd.

15 A byddant yn oleuadau yn ffurfafen y
nefoedd, i oleuo ar y ddaear: ac felly y bu.
16 A Duw a wnaeth ddau oleuad mawr-
ion; y goleuad mwyaf ‡ i lywodraethu y ‡ Heb. *yn*
dydd, a'r goleuad lleiaf i lywodraethu y nos: *rheol i'r.*
[h] a'r ser *hefyd a wnaeth efe.* [h] Job 38. 7.
17 Ac yn ffurfafen y nefoedd y rhoddes
Duw hwynt, i oleuo ar y ddaear;
18 Ac [i] i lywodraethu y dydd a'r nos, ac i [i] Jer. 31. 35.
wahanu rhwng y goleuni a'r tywyllwch: a
gwelodd Duw mai da *oedd.*
19 A'r hwyr a fu, a'r bore a fu, y pedwe-
rydd dydd.
20 ¶ Duw hefyd a ddywedodd, [k] Heigied [k] 2 Esd. 6.
y dyfroedd ymlusgiaid byw, ac eheded ehe- 47.
diaid uwch y ddaear, yn wyneb ffurfafen y
nefoedd.
21 A [l] Duw a greodd y morfeirch mawr- [l] Psal. 104.
ion, a phob ymlusgiad byw, y rhai a heig- 26.
iodd y dyfroedd yn eu rhywogaeth, a phob
ehediad asgellog yn ei rywogaeth: a gwel-
odd Duw mai da *oedd.*
22 A Duw a'u bendigodd hwynt, gan
ddywedyd, [m] Ffrwythwch, ac amlhewch, a [m] Pen. 8.
llenwch y dyfroedd yn y moroedd, a lliosoged 17. a 9. 1.
yr ehediaid ar y ddaear.
23 A'r hwyr a fu, a'r bore a fu, y pummed
dydd.
24 ¶ Duw hefyd a ddywedodd, Dyged y
ddaear *bob* peth byw wrth ei rywogaeth, yr
anifail, a'r ymlusgiad, a bwystfil y ddaear
wrth ei rywogaeth: ac felly y bu.
25 A Duw a wnaeth fwystfil y ddaear
wrth ei rywogaeth, a'r anifail wrth ei ryw-
ogaeth, a phob ymlusgiad y ddaear wrth ei
rywogaeth: a gwelodd Duw mai da *oedd.*
26 ¶ Duw hefyd a ddywedodd, [n] Gwnawn [n] Pen. 5. 1.
ddyn ar ein delw ni, wrth ein llun ein hun- a 9. 6. Doe. 2. 23.
ain: ac [o] arglwyddiaethant ar bysg y môr, 1 Cor. 11. 7.
ac ar ehediad y nefoedd, ac ar yr anifail, ac Eph. 4. 24. Col. 3. 10.
ar yr holl ddaear, ac ar bob ymlusgiad a [o] Psal. 8. 6.
ymlusgo ar y ddaear.
27 Felly Duw a greodd y dyn ar ei ddelw
ei hun, ar ddelw Duw y creodd efe ef: [p] yn [p] Mal. 2. 15.
wrryw ac yn fanyw y creodd efe hwynt. Mat. 19. 4. Marc 10. 6.
28 Duw hefyd a'u bendigodd hwynt, a
Duw a ddywedodd wrthynt, [q] Ffrwythwch, [q] Pen. 9. 1.
ac amlhêwch, a llenwch y ddaear, a daro-
styngwch hi. ac arglwyddiaethwch ar bysg y
môr, ac ar ehediad y nefoedd, ac ar bob peth
byw a ‡ ymsymmudo ar y ddaear. ‡ Heb.
29 ¶ A Duw a ddywedodd, Wele mi a *ymlusgo.*
roddais i chwi bob llysieuyn yn hadu had,
yr hwn *sydd* ar wyneb yr holl ddaear, a
phob pren yr hwn *y mae* ynddo ffrwyth pren
yn hadu had, [r] i fod yn fwyd i chwi. [r] Pen. 9. 3. Psal. 104. 14, 15.

30 Hefyd i bob bwystfil y ddaear, ac i bob
ehediad y nefoedd, ac i bob *peth* a ymsym-
‡ Heb. mudo ar y ddaear yr hwn *y mae* ‡ einioes
*enaid byw.* ynddo, *y bydd* pob llysieuyn gwyrdd yn
fwyd: ac felly y bu.
[s] Eccl. 39. 31 A [s] gwelodd Duw yr hyn oll a wnaeth-
16. ai, ac wele da iawn *ydoedd*: felly yr hwyr a
fu, a'r bore a fu, y chweched dydd.

## PEN. II.

Septuagesima, P. Ion. 2. P.

1 *Y dydd Sabbath.* 4 *Dull y creadwriaeth.* 8 *Plannu gardd Eden.* 10 *a'i hafon.* 17 *Gwahardd pren Gwybodaeth yn unig.* 19 *Enwi y creaduriaid.* 21 *Gwneuthur gwraig, ac ordeinio priodas.*

4004.
FELLY y gorphenwyd y nefoedd a'r
[a] Psal. 33. 6. ddaear, [a] a'u holl lu hwynt.
[b] Ex. 20. 11. 2 [b] Ac ar y seithfed dydd y gorphen-
& 31. 17. odd Duw ei waith, yr hwn a wnaethai efe,
Deut. 5. 14. ac a orphwysodd ar y seithfed dydd, oddi
Heb. 4. 4. wrth ei holl waith, yr hwn a wnaethai efe.
3 A Duw a fendigodd y seithfed dydd,
ac a'i sancteiddiodd ef: oblegid ynddo y
gorphwysasai oddi wrth ei holl waith, yr
hwn a greasai Duw i'w wneuthur.
4 ¶ Dyma genhedlaethau 'r nefoedd a'r
ddaear, pan grewyd hwynt, yn y dydd y
gwnaeth yr ARGLWYDD DDUW ddaear a
nefoedd:
5 A phob planhigyn y maes cyn ei fod yn y
ddaear, a phob llysieuyn y maes cyn tarddu
allan: oblegid ni pharasai 'r ARGLWYDD
DDUW wlawio ar y ddaear, ac nid *ydoedd*
dyn i lafurio'r ddaear.
6 Onid tarth a esgynodd o'r ddaear, ac a
ddyfrhaodd holl wyneb y ddaear.
† *ffurfiasai.* 7 A'r ARGLWYDD DDUW a † luniasai y
[c] Eccl. 17. 1. dyn ‡ [c] o bridd y ddaear, ac a anadlasai yn ei
1 Cor. 15. ffroenau ef anadl einioes: [d] a'r dyn a aeth
47. yn enaid byw.
‡ Heb. *lwch y ddaear.* 8 ¶ Hefyd yr ARGLWYDD DDUW a blan-
nodd ardd yn [e] Eden o du 'r dwyrain, ac a
[d] 1 Cor. 15. osododd yno y dyn a luniasai efe.
45. 9 A gwnaeth yr ARGLWYDD DDUW i bob
[e] Pen. 4. 16. pren dymunol i'r golwg, a daionus yn fwyd,
2 Br. 19. 12. ac i bren y bywyd ynghanol yr ardd, ac i
Ezec. 27. 23. bren gwybodaeth da a drwg, dyfu allan o'r
ddaear.
10 Ac afon a aeth allan o Eden, i ddyfrhâu'r
ardd, ac oddi yno hi a rannwyd, ac a aeth yn
† *bedair cainge.* † bedwar pen.
11 Enw 'r cyntaf *yw* [f] Pison: hon sydd yn
[f] Eccl. 24. 25. amgylchu holl wlad Hafilah, lle *y mae* 'r aur.
12 Ac aur y wlad honno sydd dda: yno
*mae* Bdeliwm a'r maen Onix.
13 Ac enw 'r ail afon *yw* Gihon: honno
‡ Heb. *Cush.* sydd yn amgylchu holl wlad ‡ Ethiopia.
14 Ac enw 'r drydedd afon *yw* Hidecel:
† *Tu a 'r dwyrain.* honno sydd yn myned † o du 'r dwyrain i
Assyria: a'r bedwaredd afon *yw* Euphrates.
15 A'r ARGLWYDD DDUW a gymmerodd
† *Addu.* † y dyn, ac a'i gosododd ef yngardd Eden,
i'w llafurio ac i'w chadw hi.
16 A'r ARGLWYDD DDUW a orchymyn-
odd i'r dyn, gan ddywedyd, O bob pren o'r
ardd gan fwytta y gelli fwytta:
17 Ond o bren gwybodaeth da a drwg,
na fwytta o hono; oblegid yn y dydd y
bwyttai di o hono, gan farw y byddi farw.
† *Gymmorth.* 18 ¶ Hefyd yr ARGLWYDD DDUW a
ddywedodd, Nid da bod y dyn ei hunan;
‡ Heb. *megis ger ei fron ef.* gwnaf iddo † ymgeledd ‡ cymmwys iddo.
† *ffurfiodd.* 19 A'r ARGLWYDD DDUW a † luniodd
o'r ddaear holl fwystfilod y maes, a holl
[g] Edrych ehediaid y nefoedd, ac [g] a'u dygodd at Adda,
Pen. 6. 20. i weled pa enw a roddai efe iddynt hwy: a
pha fodd bynnag yr enwodd y dyn bob peth
byw, hynny *fu* ei enw ef.
20 Ac Adda a † enwodd enwau ar yr holl † *roes.*
anifeiliaid, ac ar ehediaid y nefoedd, ac ar
holl fwystfilod y maes; ond ni chafodd efe i
Adda † ymgeledd cymmwys iddo. † *Gymmorth.*
21 A'r ARGLWYDD DDUW a wnaeth i
drymgwsg syrthio ar Adda, ac efe a gysgodd:
ac efe a gymmerodd un o'i asennau ef, ac a
gauodd † gig yn ei lle hi. † *ei lle hi a chig.*
22 A'r ARGLWYDD DDUW a ‡ wnaeth yr ‡ Heb. *adeiladodd.*
asen a gymmerasai efe o'r dyn, yn wraig, ac
a'i dug at y dyn.
23 Ac Adda a ddywedodd, Hon weithian
*sydd* asgwrn o'm hesgyrn i, a chnawd o'm
cnawd i: hon a elwir gwraig, oblegid o wr
y [h] cymmerwyd hi. [h] 1 Cor. 11. 8.
24 [i] O herwydd hyn yr ymedy gwr â'i dad,
ac â'i fam, ac y glŷn wrth ei wraig: a hwy [i] Mat. 19. 5.
a fyddant yn un cnawd. Mar. 10. 7. 1 Cor. 6. 16.
25 Ac yr oeddynt ill dau yn noethion, Eph. 5. 31.
Adda a'i wraig, ac nid oedd arnynt gywi-
lydd.

## PEN. III.

Sexagesima, B. Ion. 3.

1 *Y sarph yn hudo Efa.* 6 *Cywilyddus gwymp dyn.* 9 *Duw yn eu holi ac yn eu barnu hwy.* 14 *Melldigo 'r sarph.* 15 *Addaw yr had.* 16 *Cospedigaeth dyn.* 21 *Ei wisgad cyntaf.* 22 *A'i fwrw allan o Baradwys.*

4004.
A'R sarph oedd [a] gyfrwysach nâ holl [a] Mat. 10. 16.
fwystfilod y maes, y rhai a wnaethai 'r 2 Cor. 11. 3.
ARGLWYDD DDUW; a hi a ddywedodd
wrth y wraig, Ai † diau ddywedyd o DDUW, † Nen, *am.*
Ni chewch chwi fwytta o bob pren o'r
ardd?
2 A'r wraig a ddywedodd wrth y sarph,
O ffrwyth prennau 'r ardd y cawn ni
fwytta:
3 Ond am ffrwyth y pren *sydd* ynghanol
yr ardd, Duw a ddywedodd, Na fwyttêwch
o hono, ac na chyffyrddwch ag ef, rhag eich
marw.
4 [b] A'r sarph a ddywedodd wrth y wraig, [b] 2 Cor. 11. 3.
Ni byddwch feirw ddim. 1 Tim. 2.
5 Canys gwybod y mae Duw, mai yn y 14.
dydd y bwyttaoch o hono ef, yr agorir eich
llygaid, ac y byddwch megis duwiau, yn
gwybod da a drwg.
6 A phan welodd y wraig mai da oedd
*ffrwyth* y pren yn fwyd, ac mai † teg mewn † Nen, *dymunol.*
golwg ydoedd, a'i fod yn bren dymunol i
beri deall, hi a gymmerth o'i ffrwyth ef, [c] ac [c] Eccl. 25.
a fwyttaodd, ac a roddes i'w gwr hefyd gyd 24. 1 Tim. 2.
â hi, ac efe a fwyttaodd. 14.
7 A'u llygaid hwy ill dau a agorwyd, a
hwy a wybuant eu bod yn noethion, ac a
wniasant ddail y ffigysbren, ac a wnaethant
iddynt † arffedogau. † *wregysau.*
8 A hwy a glywsant lais yr ARGLWYDD
DDUW yn rhodio yn yr ardd, gyd ag awel y
dydd; ac ymguddiodd Adda a'i wraig o olwg
yr ARGLWYDD DDUW, ym mysg prennau 'r
ardd.
9 A'r ARGLWYDD DDUW a alwodd ar
Adda, ac a ddywedodd wrtho, Pa le *yr wyt*
ti?
10 Yntau a ddywedodd, Dy lais a glywais
yn yr ardd; a mi a ofnais, oblegid noeth
*oeddwn*, ac a ymguddiais.
11 A dywedodd *DUW*, Pwy a fynegodd i
ti dy fod yn noeth? ai o'r pren y gorchymyn-
aswn i ti na fwyttâit o hono, y bwytteaist?
12 Ac Adda a ddywedodd, Y wraig a
roddaist gyd â mi, hi a roddodd i mi o'r
pren, a mi a fwytteais.

13 A'r ARGLWYDD DDUW a ddywedodd wrth y wraig, Pa ham y gwnaethost ti hyn? A'r wraig a ddywedodd, Y sarph a'm twyllodd, a bwytta a wneuthum.

14 A'r ARGLWYDD DDUW a ddywedodd wrth y sarph, Am wneuthur o honot hyn, melldigediccach *wyt* ti nâ'r holl anifeiliaid, ac nâ holl fwystfilod y maes: ar dy dorr y cerddi, [d] a phridd a fwyttâi holl ddyddiau dy einioes.

15 Gelyniaeth hefyd a osodaf rhyngot ti a'r wraig, a rhwng [e] dy had di [f] a'i had hithau: [g] efe a ysiga dy ben di, a thithau a ysigi ei sawdl ef.

16 Wrth y wraig y dywedodd, Gan amlhâu yr amlhâf dy boenau di a'th feichiogi: mewn poen y dygi blant, [h] a'th ddymuniad *fydd* at dy wr, [i] ac efe a lywodraetha arnat ti.

17 Hefyd wrth Adda y dywedodd, Am wrando o honot ar lais dy wraig, a bwytta o'r pren am yr hwn y gorchymynaswn i ti, gan ddywedyd, Na fwytta o hono; [k] melldigedig *fydd* y ddaear o'th achos di: trwy lafur y bwyttâi o honi holl ddyddiau dy einioes.

18 Drain hefyd ac ysgall a ddwg hi i ti; a [l] llysiau 'r maes a fwyttâi di.

19 Trwy chwŷs dy wyneb y bwyttâi fara, hyd pan ddychwelech i'r ddaear; oblegid o honi y'th gymmerwyd: canys pridd *wyt* ti, [m] ac i'r pridd y dychweli.

20 A'r dyn a alwodd enw ei wraig ‡ Efa; oblegid hi oedd fam pob *dyn* byw.

21 A'r ARGLWYDD DDUW a wnaeth i Adda ac i'w wraig beisiau crwyn, ac a'u gwisgodd am danynt hwy.

22 ¶ Hefyd yr ARGLWYDD DDUW a ddywedodd, Wele y dyn sydd megis un o honom ni, i wybod da a drwg. Ac weithian rhag iddo estyn ei law, a chymmeryd hefyd o bren y bywyd, a bwytta, a byw yn dragywyddol:

23 Am hynny yr ARGLWYDD DDUW a'i hanfonodd ef allan o ardd Eden, i lafurio 'r ddaear, yr hon y cymmerasid ef o honi.

24 Felly efe a yrrodd allan y dyn, ac a osododd, o'r tu dwyrain i ardd Eden, y cerubiaid, a chleddyf tanllyd ysgwydedig, i gadw ffordd pren y bywyd.

[d] Esa. 65. 25. Mic. 7. 17.
[e] Mat. 3. 7. a 13. 38. a 23. 33. Io. 8. 44. Act. 13. 10. 1 Io. 3. 8.
[f] Psalm 132. 11. Esa. 7. 14. Mic. 5. 3.
[g] Rhuf. 16. 20. Heb. 2. 14. 1 Io. 5. 5. Dat. 12. 7, 17.
[h] Pen. 4. 7.
[i] 1 Cor. 14. 34. 1 Tim. 2. 11, 12. Tit. 2. 5.
[k] Esa. 24. 5, 6. Rhuf. 8. 20.
[l] Psal. 104. 14.
[m] Preg. 12. 7.
‡ Heb. *Chaja.*

## PEN. IV.

Ion. 3. P. 1 *Genedigaeth, celfyddyd, a chrefydd Cain ac Abel.* 8 *Lladd Abel.* 11 *Melldigo Cain.* 17 *Enoch y ddinas gyntaf.* 19 *Lamech a'i ddwy wraig.* 25 *Genedigaeth Seth,* 26 *ac Enos.*

4003. AC Adda a adnabu Efa ei wraig: a hi a feichiogodd, ac a esgorodd ar Cain; ac a ddywedodd, Cefais wr gan yr ARGLWYDD.

2 A hi a esgorodd eilwaith ar ei frawd ef ‡ Abel; ac Abel oedd ‡ fugail defaid, ond Cain oedd yn llafurio 'r ddaear.

3 A bu wedi talm o ddyddiau, i Cain ddwyn o ffrwyth y ddaear offrwm i'r ARGLWYDD.

4 Ac Abel yntau a ddug o flaen-ffrwyth ei † ddefaid, ac o'u brasder hwynt. A'r ARGLWYDD a [a] edrychodd ar Abel, ac ar ei offrwm:

5 Ond nid edrychodd efe ar Cain, nac ar ei offrwm ef. A digllonodd Cain yn ddirfawr, fel y syrthiodd ei wynebpryd ef.

6 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Cain, Pa ham y llidiaist? a pha ham y syrthiodd dy wynebpryd?

‡ Heb. *Hebel.*
‡ Heb. *borthwr.*
† *ddiadell.*
[a] Heb. 11. 4.

7 Os da y gwnai, oni chai oruchafiaeth? ac oni wnai yn dda, pechod a orwedd wrth y drws: attat ti hefyd *y mae* ei ddymuniad ef, a thi a lywodraethi arno ef.

8 A Chain a ddywedodd wrth Abel ei frawd: ac fel yr oeddynt hwy yn y maes, Cain a gododd yn erbyn Abel ei frawd, ac [b] a'i lladdodd ef. Cylch 3875.

9 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Cain, Mae Abel dy frawd di? Yntau a ddywedodd, Ni's gwn; ai ceidwad fy mrawd *ydwyf* fi?

10 A dywedodd *DUW*, Beth a wnaethost? llef gwaed dy frawd sydd [c] yn gweiddi arnaf fi o'r ddaear.

11 Ac yr awr hon melldigedig wyt ti o'r ddaear, yr hon a agorodd ei safn i dderbyn gwaed dy frawd o'th law di.

12 Pan lafuriech y ddaear, ni 'chwanega hi roddi ei ffrwyth it; gwibiad a chrwydrad fyddi ar y ddaear.

13 Yna y dywedodd Cain wrth yr ARGLWYDD, Mwy *yw* fy † anwiredd nag y gellir ei faddeu.

14 Wele gyrraist fi heddyw oddi ar wyneb y ddaear, ac o'th ŵydd di y'm cuddir: gwibiad hefyd a chrwydrad fyddaf ar y ddaear; *a* phwy bynnag a'm caffo a'm lladd.

15 A dywedodd yr ARGLWYDD wrtho, Am hynny y dïelir yn saith ddyblyg *ar* bwy bynnag a laddo Cain. A'r ARGLWYDD a osododd nôd ar Cain, rhag i neb a'i caffai ei ladd ef.

16 ¶ A Chain a aeth allan o ŵydd yr ARGLWYDD, ac a drigodd yn nhir Nod, o'r tu dwyrain i Eden.

17 Cain hefyd a adnabu ei wraig; a hi a feichiogodd, ac a esgorodd ar ‡ Enoch: yna'r ydoedd efe yn adeiladu dinas, ac efe a alwodd enw'r ddinas yn ol enw ei fab Enoch.

18 Ac i Enoch y ganwyd Irad: ac Irad a genhedlodd Mehuiael, a Mehuiael a genhedlodd Methusael, a Methusael a genhedlodd ‡ Lamech.

19 ¶ A Lamech a gymmerodd iddo ddwy o wragedd: enw 'r gyntaf *oedd* Adah, ac enw'r ail Silah.

20 Ac Adah a esgorodd ar Jabal; hwn ydoedd dad *pob* preswylydd pabell, a *pherchen* anifail.

21 Ac enw ei frawd ef oedd Jubal; ac efe oedd dad pob teimlydd telyn ac organ.

22 Silah hithau a esgorodd ar Tubal-Cain, ‡ gweithydd pob cywreinwaith pres a haiarn: a chwaer Tubal-Cain *ydoedd* Naamah.

23 A Lamech a ddywedodd wrth ei wragedd, Adah a Silah, Clywch fy llais, gwragedd Lamech, gwrandêwch fy lleferydd; canys mi a ‡ leddais wr i'm harcholl, a llangc i'm clais.

24 Os Cain a ddïelir seithwaith, yna Lamech saith ddengwaith a seithwaith.

3874 25 ¶ Ac Adda a adnabu ei wraig drachefn; a hi a esgorodd ar fab, ac a [d] alwodd ei enw ef Seth: O herwydd DUW (*eb hi*) a osododd i mi had arall yn lle Abel, am ladd o Cain ef.

3769. 26 [e] I'r Seth hwn hefyd y ganwyd mab; ac efe a alwodd ei enw ef Enos: yna y ‡ dechreuwyd galw ar enw 'r ARGLWYDD.

[b] Doeth. 10. 3. Mat. 23. 35. 1 Io. 3. 12. Jud. 11.
[c] Heb. 12. 24. Dat. 6. 10.
† *nghospedigaeth nag y gallwyf ei oddef.*
‡ Heb. *Chanoch.*
‡ Heb. *Lemech.*
‡ Heb. *hogwr.*
‡ Heb. *laddwn.*
[d] Pen. 5. 3.
[e] Pen. 5. 6.
‡ Heb. *dechreuasant eu galw eu hun ar enw'r Arglwydd.*

## PEN. V.

1 *Achau, oedran, a marwolaeth y patrieirch o Adda hyd Noah.* 24 *Duwioldeb Enoch, a Duw yn ei gymmeryd ef ymaith.* Ion. 4.

4004. DYMA [a] lyfr cenhedlaethau Adda: yn y dydd y creodd DUW ddyn, [b] ar lun DUW y gwnaeth efe ef.

[a] 1 Chron. 1. 1. Luc 3. 36.
[b] Pen. 1. 26.

2 Yn wrryw ac yn fanyw y creodd efe
hwynt; ac efe a'u bendithiodd hwynt, ac a
alwodd eu henw hwynt Addu, ar y dydd y
crewyd hwynt.
3874. 3 ¶ Ac Adda a fu fyw ddeng mlynedd
ar hugain a chant, ac a genhedlodd *fab* ar ei
c Pen. 4. 25. lun a'i ddelw ei hun, ac [c] a alwodd ei enw
ef Seth.
d 1 Chron. 1. 1. 4 [d] A dyddiau Adda, wedi iddo genhedlu
Seth, oedd wyth gan mlynedd, ac efe a gen-
hedlodd feibion a merched.
5 A holl ddyddiau Adda, y rhai y bu efe
fyw, oedd naw can mlynedd a deng mly-
nedd ar hugain; ac efe a fu farw.
3769. 6 ¶ Seth hefyd a fu fyw bum mlynedd a
e Pen. 4. 26. chan mlynedd, ac [e] a genhedlodd Enos.
7 A Seth a fu fyw wedi iddo genhedlu
Enos, saith mlynedd ac wyth gan mlynedd,
ac a genhedlodd feibion a merched.
8 A holl ddyddiau Seth oedd ddeuddeng
mlynedd a naw can mlynedd; ac efe a fu
farw.
3679. 9 ¶ Ac Enos a fu fyw ddeng mlynedd a
phedwar ugain, ac a genhedlodd Cenan.
10 Ac Enos a fu fyw wedi iddo genhedlu
Cenan, bymtheng mlynedd ac wyth gan mly-
nedd, ac a genhedlodd feibion a merched.
11 A holl ddyddiau Enos oedd bum mly-
nedd a naw can mlynedd; ac efe a fu farw.
3609. 12 ¶ Cenan hefyd a fu fyw ddeng mly-
‡ Heb. *Mahaleel.* nedd a thrugain, ac a genhedlodd ‡ Maha-
laleel.
13 A bu Cenan fyw wedi iddo genhedlu
Mahalaleel ddeugain mlynedd ac wyth
gan mlynedd, ac a genhedlodd feibion a
merched.
14 A holl ddyddiau Cenan oedd ddeng
mlynedd a naw can mlynedd; ac efe a fu
farw.
3544. 15 ¶ A Mahalaleel a fu fyw bum mly-
nedd a thrugain mlynedd, ac a genhedl-
† *Jared.* odd † Jered.
16 A Mahalaleel a fu fyw wedi iddo gen-
hedlu Jered, ddeng mlynedd ar hugain ac
wyth gan mlynedd, ac a genhedlodd feibion
a merched.
17 A holl ddyddiau Mahalaleel oedd bym-
theng mlynedd a phedwar ugain ac wyth
gan mlynedd; ac efe a fu farw.
3382. 18 ¶ A Jered a fu fyw ddwy flynedd a
thrugain a chan mlynedd, ac a genhedlodd
f Judas 14, 15. [f] ‡ Enoch.
19 A Jered a fu fyw wedi iddo genhedlu
‡ Gr. Enoch wyth gan mlynedd, ac a genhedlodd
*Henoch.* feibion a merched.
20 A holl ddyddian Jered oedd ddwy
flynedd a thrugain a naw can mlynedd; ac
efe a fu farw.
3317. 21 ¶ Enoch hefyd a fu fyw bum mlynedd
‡ Gr. a thrugain ac a genhedlodd ‡ Methuselah.
*Methuselah.* 22 Ac Enoch [g] a rodiodd gyd â Duw
wedi iddo genhedlu Methuselah, drichant o
g Pen. 6. 9. a 17. 1. a flynyddoedd, ac a genhedlodd feibion a
24. 40. merched.
Psal. 16. 8. a 116. 9. 23 A holl ddyddiau Enoch oedd bum mly-
nedd a thrugain a thrichant o flynyddoedd.
h Eccl. 44. 24 A [h] rhodiodd Enoch gyd â Duw, ac ni
16. *welwyd* ef: canys Duw a'i cymmerodd ef.
Heb. 11. 5. 25 ¶ Methuselah hefyd a fu fyw saith
3130. mlynedd a phedwar ugain a chant, ac a gen-
hedlodd Lamech.
26 A Methuselah a fu fyw wedi iddo gen-
hedlu Lamech, ddwy flynedd a phedwar
ugain a saith gan mlynedd, ac a genhedlodd
feibion a merched.
27 A holl ddyddiau Methuselah oedd naw
mlynedd a thrugain a naw can mlynedd; ac
efe a fu farw.
28 ¶ Lamech hefyd a fu fyw ddwy flynedd 2948.
a phedwar ugain a chan mlynedd, ac a
genhedlodd fab.
29 Ac a alwodd ei enw ef ‡ Noah; gan ‡ Gr. *Noe.*
ddywedyd, Hwn a'n cysura ni am ein gwaith, Luc 3. 36.
a llafur ein dwylaw, o herwydd y ddaear [i] yr Heb. 11. 7.
hon a felldigodd yr ARGLWYDD. 1 Petr 3. 20.
30 A Lamech a fu fyw wedi iddo gen- i Pen. 3.
hedlu Noah, bymtheng mlynedd a phedwar 17. a 4. 11.
ugain a phum can mlynedd, ac a genhed-
lodd feibion a merched.
31 A holl ddyddiau Lamech oedd ddwy 2353.
flynedd ar bymtheg a thrugain a saith gan
mlynedd; ac efe a fu farw.
32 A Noah ydoedd fab pum can mlwydd; 2448.
a Noah a genhedlodd Sem, † Cham, a Ja- † Neu,
pheth. *Ham.*

## PEN. VI.

1 *Drygioni'r byd. yr hwn a gyffrôdd ddigllo-* Sexagesima, P.
*nedd Duw, ac a barodd y diluw.* 8 *Noah* Ion. 4. P.
*yn cael ffafr.* 14 *Trefn a phortreiad, a'r*
*achos y gwnaed yr arch.*

YNA y bu pan ddechreuodd dynion
amlhâu ar wyneb y ddaear, a geni mer-
ched iddynt,
2 Weled o feibion Duw ferched dynion
mai teg *oeddynt* hwy; a hwy a gymmerasant
iddynt wragedd o'r rhai oll a ddewisasant.
3 A dywedodd yr ARGLWYDD, Nid ym-
rysona fy Yspryd i â dyn yn dragywydd,
[a] oblegid mai cnawd yw efe: a'i ddyddiau a Psal. 78.
fyddant ugain mlynedd a chant. 39.
4 Cawri oedd ar y ddaear y dyddiau hyn- 2469.
ny: ac wedi hynny hefyd, pan ddaeth mei-
bion Duw at ferched dynion, a phlanta o'r
*rhai hynny* iddynt: dyma 'r cedyrn *a fu* wŷr
enwog gynt.
5 ¶ A'r ARGLWYDD a welodd mai aml
oedd drygioni dyn ar y ddaear, a *bod* † [b] holl † *pob*
fwriad meddylfryd ei galon yn unig yn *bwriad.*
ddrygionus bob ‡ amser. b Pen. 8. 21.
6 Ac [c] edifarhaodd ar yr ARGLWYDD Mat 15.
wneuthur o hono ef ddyn ar y ddaear, ac 19.
efe a ymofidiodd yn ei galon. ‡ Heb.
7 A'r ARGLWYDD a ddywedodd, Dileaf *dydd.*
ddyn yr hwn a greais oddi ar wyneb y c Edrych
ddaear, o ddyn hyd anifail, hyd yr ymlus- Num. 23.
giad, a hyd ehediad y nefoedd: canys y 19.
mae yn edifar gennyf eu gwneuthur hwynt. 1 Sam. 15.
8 ¶ Ond Noah a gafodd ffafr yngolwg yr 11, 29.
ARGLWYDD. 2 Sam. 24. 16.
9 ¶ Dyma genhedlaethau Noah: [d] Noah Mal 3. 6.
*oedd* wr cyfiawn, † perffaith yn ei oes: gyd Iag. 1. 17.
â Duw y rhodiodd Noah.
10 A Noah a genhedlodd dri o feibion, 2448.
Sem, Cham, a Japheth. d Ezec.
11 A'r ddaear a lygrasid ger bron Duw; 14. 14, 20.
llanwasid y ddaear hefyd â thrawsedd. Eccl. 44. 17
12 A Duw a edrychodd ar y ddaear, ac Heb. 11. 7.
wele hi a lygrasid; canys pob cnawd a lygr- 2 Petr 2. 5.
asai ei ffordd ar y ddaear. † Neu,
13 A Duw a ddywedodd wrth Noah, *union.*
Diwedd pob cnawd a ddaeth ger fy mron:
oblegid llanwyd y ddaear â thrawsedd
trwyddynt hwy: ac wele myfi a'u difethaf
hwynt † gyd â'r ddaear. † *oddi ar*
14 ¶ Gwna it' arch o goed Gopher, yn *y ddaear.*
gellau y gwnai 'r arch, a phyga hi oddi fewn
ac oddi allan â phyg.
15 Ac fel hyn y gwnai di hi: trichan cu-
fydd *fydd* hŷd yr arch, deg cufydd a deugain
ei lled, a deg cufydd ar hugain ei huchder.
16 Gwna ffenestr i 'r arch, a gorphen *hi*

yn gufydd oddi arnodd; a gosod ddrws yr
arch yn ei hystlys: o dri *uchder* y gwnai
di hi.
17 Ac wele myfi, ïe myfi, yn dwyn dyfr-
oedd diluw ar y ddaear, i ddifetha pob
cnawd, yr hwn *y mae* anadl einioes ynddo,
oddi tan y nefoedd: yr hyn oll *sydd* ar y
ddaear a drenga.
18 Ond â thi y cadarnhâf fy nghyfam-
e 1 Petr mod; ac [e] i'r arch yr ai di, tydi a'th feibion,
3. 20. 2 Petr a'th wraig, a gwragedd dy feibion gyd â thi.
2. 5. 19 Ac o bob *peth* byw, o bob cnawd, y
dygi ddau o bob *rhyw* i'r arch i'w cadw yn
fyw gyd â thi; gwrryw a banyw fyddant.
20 O'r ehediaid wrth eu rhywogaeth, ac
o'r anifeiliaid wrth eu rhywogaeth, o bob
ymlusgiad y ddaear wrth ei rywogaeth; dau
f Edrych o bob *rhywogaeth* [f] a ddaw attat i'w cadw yn
Pen. 1. 19. fyw.
21 A chymmer it' o bob bwyd a fwyttâir,
a chasgl attat; a bydd yn ymborth i ti ac
iddynt hwythau.
g Pen. 7. 5. 22 [g] Felly y gwnaeth Noah; yn ol yr
Heb. 11. 7. hyn oll a orchymynasai Duw iddo, felly y
gwnaeth efe.

## PEN. VII.

Ion. 5. B. 1 *Noah a'i deulu a'r creaduriaid byw yn
myned i'r arch.* 11 *Dechreuad, cynnydd, a
pharhâd y diluw.*

2349. YNA y dywedodd yr ARGLWYDD wrth
a Mat. 24. Noah, [a] Dos di, a'th holl dŷ i'r arch:
38. canys [b] tydi a welais i yn gyfiawn ger fy
Luc 17. 26. 1 Petr 3. 20. mron i yn yr oes hon.
2 Petr 2. 5. 2 O bob anifail glân y cymmeri gyd â thi
b Pen. 6. 9. bob ‡ yn saith, y gwrryw a'i fanyw; a dau
‡ Heb. o'r anifeiliaid y rhai nid ydynt lân, y gwrryw
*saith a saith.* a'i fanyw:
3 O ehediaid y nefoedd hefyd, bob yn
saith, yn wrryw ac yn fanyw, i gadw had
yn fyw ar wyneb yr holl ddaear.
4 Oblegid wedi saith niwrnod etto, mi a
wlawiaf ar y ddaear ddeugain niwrnod a
deugain nos: a mi a ddileaf oddi ar wyneb
y ddaear bob peth byw a'r a wneuthum i.
5 A Noah a wnaeth yn ol yr hyn oll a or-
chymynasai yr ARGLWYDD iddo.
2349. 6 Noah hefyd *oedd* fab chwe chan mlwydd
pan fu'r dyfroedd diluw ar y ddaear.
7 ¶ A Noah a aeth i mewn, a'i feibion,
a'i wraig, a gwragedd ei feibion gyd ag ef,
i'r arch, rhag y dwfr diluw.
8 O anifeiliaid glân, ac o anifeiliaid y rhai
nid *oeddynt* lân, o ehediaid hefyd, ac o'r hyn
oll a ymlusgai ar y ddaear,
9 Yr aeth i mewn at Noah i'r arch bob yn
ddau, yn wrryw ac yn fanyw, fel y gorchy-
mynasai Duw i Noah.
† Neu, 10 Ac † wedi saith niwrnod y dwfr diluw
*ar y seithfed dydd.* a ddaeth ar y ddaear.
2349. 11 ¶ Yn y chwe chanfed flwyddyn o
fywyd Noah, yn yr ail mis, ar yr ail dydd
ar bymtheg o'r mis, ar y dydd hwnnw y
rhwygwyd holl ffynhonnau 'r dyfnder mawr,
a ffenestri 'r nefoedd a agorwyd.
12 A'r gwlaw fu ar y ddaear ddeugain
niwrnod a deugain nos.
13 O fewn corph y dydd hwnnw y daeth
Noah, a Sem, a Cham, a Japheth, meibion
Noah, a gwraig Noah, a thair gwragedd ei
feibion ef gyd â hwynt, i'r arch.
14 Hwynt, a phob bwystfil wrth ei ryw-
ogaeth, a phob anifail wrth ei rywogaeth, a
phob ymlusgiad a ymlusgai ar y ddaear wrth
ei rywogaeth, a phob ehediad wrth ei ryw-
‡ Heb. *adain.* ogaeth, pob aderyn o bob ‡ rhyw.

15 A daethant at Noah i'r arch bob yn
ddau, o bob cnawd *a'r oedd* ynddo anadl
einioes.
16 A'r rhai a ddaethant, yn wrryw a ba-
nyw y daethant o bob cnawd, fel y gorchy-
mynasai Duw iddo. A'r ARGLWYDD a
gauodd arno ef.
17 A'r diluw fu ddeugain niwrnod ar y
ddaear; a'r dyfroedd a gynnyddasant, ac a
godasant yr arch, a hi a godwyd oddi ar y
ddaear.
18 A'r dyfroedd a ymgryfhasant, ac a
gynnyddasant yn ddirfawr ar y ddaear; a'r
arch a rodiodd ar wyneb y dyfroedd.
19 A'r dyfroedd a ymgryfhasant yn ddir-
fawr iawn ar y ddaear, a gorchuddiwyd yr
holl fynyddoedd uchel oedd tan yr holl
nefoedd.
20 Pymtheg cufydd yr ymgryfhaodd y
dyfroedd tu ag i fynu: a'r mynyddoedd a
orchuddiwyd.
21 A [c] bu farw pob cnawd a ymlusgai ar c Luc 17.
y ddaear, yn ehediaid, ac yn anifeiliaid, ac 27.
yn fwystfilod, ac yn bob *rhyw* ymlusgiad a
ymlusgai ar y ddaear, a phob dyn *hefyd.*
22 Yr hyn oll *yr oedd* ffun anadl einioes
yn ei ffroenau, o'r hyn oll *oedd* ar y sychdir,
a fuant feirw.
23 Ac efe a ddileodd bob sylwedd byw a'r
a *oedd* ar wyneb y ddaear, yn ddyn ac yn
anifail, yn ymlusgiaid, ac yn ehediaid y nef-
oedd; ïe dilëwyd hwynt o'r ddaear: a [d] d Doeth.
Noah a'r rhai *oedd* gyd ag ef yn yr arch, yn 10. 4. 2 Petr
unig, a adawyd yn fyw. 2. 5.
24 A'r dyfroedd a ymgryfhasant ar y
ddaear ddeng niwrnod a deugain a chant.

## PEN. VIII.

1 *Y dyfroedd yn llonyddu.* 4 *Yr arch yn gor-* Ion. 5. P.
*phwys ar fynyddoedd Ararat.* 7 *Y gigfran
a'r golommen.* 15 *Noah, ar orchymyn Duw,*
18 *yn myned allan o'r arch.* 20 *Efe yn
adeiladu allor, ac yn aberthu aberth;* 21 *yr
hwn y mae Duw yn ei dderbyn, ac yn ad-
daw na felldithiai'r ddaear mwyach.*

A DUW a gofiodd Noah, a phob peth byw, 2349.
a phob anifail a'r *a oedd* gyd ag ef yn
yr arch: a Duw a wnaeth i wynt dramwy
ar y ddaear, a'r dyfroedd a lonyddasant.
2 Cauwyd hefyd ffynhonnau 'r dyfnder a
ffenestri 'r nefoedd; a lluddiwyd y gwlaw
o'r nefoedd.
3 A'r dyfroedd a ddychwelasant oddi ar
y ddaear, gan fyned a dychwelyd: ac ym
mhen [a] y deng niwrnod a deugain a chant, y a Pen. 7.
dyfroedd a dreiasai. 14.
4 ¶ Ac yn y seithfed mis, ar yr ail dydd
ar bymtheg o'r mis, y gorphwysodd yr arch
ar fynyddoedd Ararat.
5 A'r dyfroedd fuant yn myned ac yn
treio, hyd y degfed mis; yn y degfed *mis*,
ar y *dydd* cyntaf o'r mis, y gwelwyd pen-
nau'r mynyddoedd.
6 ¶ Ac ym mhen deugain niwrnod yr
agorodd Noah ffenestr yr arch a wnaethai
efe.
7 Ac efe a anfonodd allan gigfran; a hi a
aeth, gan fyned allan a dychwelyd, hyd oni
sychodd y dyfroedd oddi ar y ddaear.
8 Ac efe a anfonodd golommen oddi
wrtho, i weled a dreiasai'r dyfroedd oddi ar
wyneb y ddaear.
9 Ac ni chafodd y golommen orphwysfa
i wadn ei throed; a hi a ddychwelodd atto
ef i'r arch, am *fod* y dyfroedd ar wyneb yr
holl dir: ac efe a estynodd ei law, ac a'i

cymmerodd hi, ac a'i derbyniodd hi atto
i 'r arch.
10 Ac efe a arhosodd etto saith niwrnod
eraill, ac a anfonodd eilwaith y golommen
allan o'r arch.
11 A'r golommen a ddaeth atto ef ar
brydnhawn; ac wele ddeilen olewydden yn
ei gylfin hi, wedi ei thynnu: yna y gwybu
Noah dreio o'r dyfroedd oddi ar y ddaear.
12 Ac efe a arhosodd etto saith niwrnod
eraill, ac a anfonodd y golommen; ac ni
ddychwelodd hi eilwaith atto ef mwy.
2348. 13 ¶ Ac yn yr unfed flwyddyn a chwe
chant, yn y *mis* cyntaf, ar y *dydd* cyntaf
o'r mis, y darfu i 'r dyfroedd sychu oddi ar
y tir: a Noah a symmudodd gaead yr arch,
ac a edrychodd, ac wele sychasai wyneb y
ddaear.
14 Ac yn yr ail mis, ar y seithfed dydd ar
hugain o'r mis, y ddaear a sychasai.
15 ¶ A llefarodd Duw wrth Noah, gan
ddywedyd,
16 Dos allan o'r arch, ti, a'th wraig, a'th
feibion, a gwragedd dy feibion, gyd â thi.
17 Pob peth byw a'r *sydd* gyd â thi, o bob
cnawd, yn adar, ac yn anifeiliaid, ac yn bob
ymlusgiad a ymlusgo ar y ddaear, a ddygi
allan gyd â thi: heppiliant hwythau yn y
[b] Pen. 1. 22. ddaear, a [b] ffrwythant ac amlhânt ar y
ddaear.
18 A Noah a aeth allan, a'i feibion, a'i
wraig, a gwragedd ei feibion, gyd ag ef.
19 Pob bwystfil, pob ymlusgiad, a phob
ehediad, pob peth a ymlusgai ar y ddaear,
‡ Heb. wrth eu ‡ rhywogaethau, a ddaethant allan
*tylwythau.* o'r arch.
20 ¶ A Noah a adeiladodd allor i 'r ARGLWYDD, ac a gymmerodd o bob anifail
glân, ac o bob ehediad glân, ac a offrymmodd boeth-offrymmau ar yr allor.
21 A'r ARGLWYDD a aroglodd arogl
† *peraidd.* † esmwyth; a dywedodd yr ARGLWYDD yn
ei galon, Ni 'chwanegaf felldithio'r ddaear
‡ *er bod.* mwy er mwyn dyn: ‡ o herwydd bod [c] bryd
[c] Pen. 6. 5. calon dyn yn ddrwg o'i ieuengctid: ac ni
Mat. 15. 19. 'chwanegaf mwy daro pob *peth* byw, fel y
gwneuthum.
22 Pryd hau, a chynhauaf, ac oerni, a
[d] Jer. 33. gwres, a haf, a gauaf, a [d] dydd, a nos, ni
20, 25. phaid mwy holl ddyddiau'r ddaear.

## PEN. IX.

Cwinewagesima, h. w. 20. B. Jon. 7. B.
1 *Duw yn bendithio Noah,* 4 *yn gwahardd gwaed a llofruddiaeth.* 9 *Cyfammod Duw,* 13 *a arwyddocâir trwy'r enfys.* 18 *Noah yn llenwi'r byd,* 20 *yn plannu gwinllan,* 21 *yn meddwi, ac yn cael ei watwar gan ei fab;* 25 *yn melldigo Canaan,* 26 *yn bendithio Sem,* 27 *yn gweddio dros Japheth,* 29 *ac yn marw.*

2348. DUW hefyd a fendithiodd Noah a'i
feibion, ac a ddywedodd wrthynt,
[a] Pen. 1. [a] Ffrwythwch a lliosogwch, a llenwch y
28. a 8. 17. ddaear.
2 Eich ofn hefyd a'ch arswyd fydd ar
holl fwystfilod y ddaear, ac ar holl ehediaid
y nefoedd, a'r hyn oll a ymsymmudo ar y
ddaear, ac ar holl bysgod y môr; yn eich
llaw chwi y rhoddwyd hwynt.
3 Pob ymsymmudydd yr hwn sydd fyw,
[b] Pen. 1. fydd i chwi yn fwyd: fel [b] y gwŷrdd lysieu-
29. yn y rhoddais i chwi bob dim.
[c] Lef. 17. 4 ¶ [c] Er hynny na fwyttêwch gig ynghŷd
14. a 19. 26. â 'i einioes, *sef* ei waed.
Deut. 12. 23. 
Act. 15. 20. 5 Ac yn ddiau gwaed eich einioes chwi-
thau hefyd a ofynaf fi: [d] o law pob bwystfil [d] Ex. 21. 28.
y gofynaf ef; ac [e] o law dyn, o law pob [e] Psalm 9.
brawd iddo y gofynaf einioes dyn. 12.
6 A [f] dywallto waed dyn, trwy ddyn y [f] Eccl. 21.
tywelltir ei waed yntau, o herwydd ar [g] 12.
ddelw Duw y gwnaeth efe ddyn. Lef. 24. 17.
Mat. 26. 52.
7 Ond chwychwi, [h] ffrwythwch ac aml- Dat. 13. 10.
hewch, epiliwch ar y ddaear, a lliosogwch [g] Pen. 1. 27.
ynddi. [h] Pen. 1.
8 ¶ A Duw a lefarodd wrth Noah, ac 28. a 8. 17.
wrth ei feibion gyd ag ef, gan ddywedyd,
9 Ac wele [i] myfi, ie myfi, ydwyf yn ca- [i] Esay 54. 9.
darnhâu fy nghyfammod â chwi, ac â 'ch
had ar eich ol chwi;
10 Ac â phob peth byw yr hwn *sydd* gyd
â chwi, â 'r ehediaid, â 'r anifeiliaid, ac â
phob bwystfil y tir gyd â chwi, o'r rhai oll
sydd yn myned allan o'r arch, hyd holl
fwystfilod y ddaear.
11 A mi a gadarnhâf fy nghyfammod â
chwi, ac ni thorrir ymaith bob cnawd mwy
gan y dwfr diluw, ac ni bydd diluw mwy i
ddifetha'r ddaear.
12 A Duw a ddywedodd, Dyma arwydd
y cyfammod, yr hwn yr ydwyf fi yn ei roddi
rhyngof fi a chwi, ac a phob peth byw a'r
*y sydd* gyd â chwi, tros oesoedd tragywyddol.
13 Fy mwa a roddais yn y cwmmwl, ac
efe a fydd yn arwydd cyfammod rhyngof fi
a'r ddaear.
14 [k] A bydd pan godwyf gwmmwl ar y [k] Eccl. 43.
ddaear, yr ymddengys y bwa yn y cwmmwl. 11, 12.
15 A mi a gofiaf fy nghyfammod, yr hwn
*sydd* rhyngof fi a chwi, ac a phob peth byw
o bob cnawd: ac ni bydd y dyfroedd yn
ddiluw mwy, i ddifetha pob cnawd.
16 A'r bwa a fydd yn y cwmmwl; a mi a
edrychaf arno ef, i gofio'r cyfammod tragywyddol rhwng Duw a phob peth byw, o
bob cnawd a'r *y sydd* ar y ddaear.
17 A Duw a ddywedodd wrth Noah, Dyma arwydd y cyfammod, yr hwn a gadarnheais rhyngof fi a phob cnawd a'r *y sydd* ar
y ddaear.
18 ¶ A [l] meibion Noah y rhai a ddaeth 2347.
allan o'r arch, oedd Sem, Cham, a Japheth; [l] Pen. 6.
a Cham oedd dad ‡ Canaan. 10.
19 Y tri hyn *oedd* feibion Noah: ac o'r ‡ Heb.
rhai hyn yr hiliwyd yr holl ddaear. *Chenaan.*
20 A Noah a ddechreuodd *fod* yn llafurwr,
ac a blannodd winllan.
21 Ac a yfodd o'r gwin, ac a feddwodd,
ac a ymnoethodd ynghanol ei babell.
22 A Cham tad Canaan a welodd noethni
ei dad, ac a fynegodd i 'w ddau frodyr allan.
23 A chymmerodd Sem a Japheth ddilledyn, ac a'i gosodasant ar eu hysgwyddau ill
dau, ac a gerddasant yn wysg eu cefn, ac a
orchuddiasant noethni eu tad; a'u hwynebau
yn ol, fel na welent noethni eu tad.
24 A Noah a ddeffrôdd o'i win, ac a
wybu beth a wnaethai ei fab ieuangaf iddo.
25 Ac efe a ddywedodd, Melldigedig *fyddo* Canaan, gwas gweision i 'w frodyr fydd.
26 Ac efe a ddywedodd, Bendigedig *fyddo* ARGLWYDD DDUW Sem; a Chanaan
fydd was † iddo ef. † *iddynt.*
*hwy.*
27 Duw a helaetha ar Japheth, ac efe a
breswylia ym mhebyll Sem; a Chanaan fydd
was iddo ef.
28 ¶ A Noah a fu fyw wedi 'r diluw
drichan mlynedd a deng mlynedd a deugain.
29 Felly holl ddyddiau Noah oedd naw 1998.
can mlynedd a deng mlynedd a deugain;
ac efe a fu farw.

## PEN. X.

1 *Cenhedlaethau Noah.* 2 *Meibion Japheth.* 6 *Meibion Cham.* 8 *Nimrod y brenhin cyntaf.* 21 *Meibion Sem.*

A Dyma genhedlaethau meibion Noah:
Sem, Cham, a Japheth; ganwyd meibion hefyd i'r rhai hyn wedi 'r diluw.
a 1 Chron. 1. 5. 2 ¶ a Meibion Japheth *oedd* Gomer, a
Magog, a Madai, a Jafan, a Thubal, a Mesech, a Thiras.
3 Meibion Gomer hefyd; Ascenas, a Riphath, a Thogarmah.
4 A meibion Jafan; Elisah, a Tharsis,
† Yn ol rhai, *Rodanim.* Cittim, a † Dodanim.
5 O'r rhai hyn y rhannwyd ynysoedd y cenhedloedd yn eu gwledydd, pawb wrth eu hiaith eu hun, trwy eu teuluoedd, yn eu cenhedloedd.
b 1 Chron. 1. 8. 6 ¶ A b meibion Cham *oedd* Cus, a Misraim, a Phut, a Chanaan.
7 A meibion Cus; Seba, a Hafilah, a Sabtah, a Raamah, a Sabteca: a meibion Raamah; Seba, a Dedan.
8 Cus hefyd a genhedlodd Nimrod: efe a ddechreuodd fod yn gadarn ar y ddaear.
Cylch 9 Efe oedd heliwr cadarn ger bron yr
2218. ARGLWYDD: am hynny y dywedir, Fel Nimrod, heliwr cadarn ger bron yr ARGLWYDD.
10 A dechreuad ei frenhiniaeth ef ydoedd
† Gr. *Babilon.* † Babel, ac Erech, ac Accad, a Chalneh, yngwlad Sinar.
‡ *Fe aeth allan i Assyria.* 11 O'r wlad honno ‡ yr aeth Assur allan, ac a adeiladodd Ninefeh, a dinas Rehoboth, a Chalah,
12 A Resen, rhwng Ninefeh a Chalah; honno *sydd* ddinas fawr.
13 Misraim hefyd a genhedlodd Ludim, ac Anamim, a Lehabim, a Naphtuhim,
14 Pathrusim hefyd a Chasluhim, o'r rhai y daeth Philistim a Chaphtorim.
15 ¶ Canaan hefyd a genhedlodd Sidon ei gyntaf-anedig, a Heth,
16 A'r Jebusiad, a'r Amoriad, a'r Girgasiad,
17 A'r Hefiad, a'r Arciad, a'r Siniad,
18 A'r Arfadiad, a'r Semariad, a'r Hamathiad: ac wedi hynny yr ymwasgarodd teuluoedd y Canaaneaid.
19 Terfyn y Canaaneaid oedd hefyd o
† Heb. *Azzah.* Sidon, ffordd yr elych i Gerar, hyd † Gazah; y ffordd yr elych i Sodom, a Gomorrah, ac Admah, a Seboim, hyd Lesah.
20 Dyma feibion Cham, yn ol eu teuluoedd, wrth eu hieithioedd, yn eu gwledydd, *ac* yn eu cenhedloedd.
21 ¶ I Sem hefyd y ganwyd plant; yntau *oedd* dad holl feibion Heber, *a* brawd Japheth yr hynaf.
c 1 Chron. 1. 17. 22 c Meibion Sem *oedd* Elam, ac Assur, ac
‡ Heb. *Arphaxad.* ‡ Arphaxad, a Lud, ac Aram.
23 A meibion Aram; Us, a Hul, a Gether, a Mas.
d Pen. 1. 12. 24 Ac Arphaxad a genhedlodd d Selah, a Selah a genhedlodd Heber.
e 1 Chron. 1. 19. 25 e Ac i Heber y ganwyd dau o feibion:
2247. enw un *oedd* Peleg; o herwydd yn ei ddyddiau ef y rhannwyd y ddaear; ac enw ei frawd, Joctan.
26 A Joctan a genhedlodd Almodad, a Saleph, a Hasarmafeth, a Jerah,
27 Hadoram hefyd, ac Usal, a Diclah,
28 Obal hefyd, ac Abimael, a Seba,
29 Ophir hefyd, a Hafilah, a Jobab: yr holl rai hyn *oedd* feibion Joctan.
30 A'u preswylfa oedd o Mesa, ffordd yr elych i Sephar, mynydd y dwyrain.
31 Dyma feibion Sem, wrth eu teuluoedd, yn ol eu hieithioedd, yn eu gwledydd, trwy eu cenhedloedd.
32 Dyma deuluoedd meibion Noah, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu cenhedloedd: ac o'r rhai hyn yr ymrannodd y cenhedloedd ar y ddaear wedi 'r diluw.

## PEN. XI.

Llith y Sulgwyn, h. w. 10. B.
1 *Un iaith yn y byd.* 3 *Adeiladaeth Babel.* 5 *Cymmysgu'r ieithoedd.* 10 *Cenhedlaethau Sem.* 27 *Cenhedlaethau Terah tad Abraham.* 31 *Terah yn myned o Ur i Haran.* Cylch 2247.

A'R holl ddaear ydoedd o un † iaith, ac † Heb. *wefus.*
o un ‡ ymadrodd.
2 A bu, a hwy yn ymdaith § o'r dwy- ‡ Heb. *eiriau.*
rain, gael o honynt wastadedd yn nhir Si-
nar; ac yno y trigasant. § Neu, *tu a'r dwyrain;* fel Pen. 13. 11.
3 A hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, Deuwch, gwnawn briddfeini, a llosgwn yn boeth: ac yr ydoedd ganddynt briddfeini yn lle cerrig, a chlai oedd ganddynt yn lle calch.
4 A dywedasant, Moeswch, adeiladwn i ni ddinas, a thŵr, a'i nen hyd y nefoedd, a gwnawn i ni enw, rhag ein gwasgaru ar hŷd wyneb yr holl ddaear.
5 A'r ARGLWYDD a ddisgynodd i weled y ddinas a'r tŵr a adeiladai meibion dynion.
6 A dywedodd yr ARGLWYDD, Wele y bobl yn un, ac un iaith iddynt oll, a dyma eu dechreuad hwynt ar weithio: ac yr awr hon nid oes rwystr arnynt am ddim oll a'r a amcanasant ei wneuthur.
7 Deuwch, disgynwn, a chymmysgwn yno eu hiaith hwynt, fel na ddeallont iaith eu gilydd.
8 Felly 'r ARGLWYDD a'u gwasgarodd hwynt oddi yno ar hŷd wyneb yr holl ddaear: a pheidiasant ag adeiladu 'r ddinas.
9 Am hynny y gelwir ei henw hi † Babel; † Sef, *Cymmysg.*
a oblegid yno y cymmysgodd yr ARGLWYDD a Doeth. 10. 5.
iaith yr holl ddaear, ac oddi yno y gwasgarodd yr ARGLWYDD hwynt ar hŷd wyneb yr holl ddaear.
10 ¶ b Dyma genhedlaethau Sem: Sem b Pen. 10. 22. 1 Chron. 1. 17.
*ydoedd* fab can mlwydd, ac a genhedlodd Arphaxad ddwy flynedd wedi 'r diluw.
11 A Sem a fu fyw wedi iddo genhedlu 2346.
Arphaxad, bum can mlynedd, ac a genhedlodd feibion a merched.
12 Arphaxad hefyd a fu fyw bymtheng mlynedd ar hugain, ac a genhedlodd Selah.
13 Ac Arphaxad a fu fyw gwedi iddo 2311.
genhedlu Selah, dair o flynyddoedd a phedwar can mlynedd, ac a genhedlodd feibion a merched.
14 Selah hefyd a fu fyw ddeng mlynedd ar hugain, ac a genhedlodd Heber.
15 A Selah a fu fyw wedi iddo genhedlu 2281.
Heber, dair o flynyddoedd a phedwar can mlynedd, ac a genhedlodd feibion a merched.
16 c Heber hefyd a fu fyw bedair blynedd 2247.
ar ddeg ar hugain, ac a genhedlodd d Peleg. c 1 Chron. 1. 19.
17 A Heber a fu fyw wedi iddo genhedlu
Peleg, ddeng mlynedd ar hugain a phedwar can mlynedd, ac a genhedlodd feibion a merched. d Luc 3. 35. *Phalec.*
18 Peleg hefyd a fu fyw ddeng mlynedd 2217.
ar hugain, ac a genhedlodd Reu.
19 A Pheleg a fu fyw gwedi iddo genhedlu Reu, naw o flynyddoedd a dau can mlynedd, ac a genhedlodd feibion a merched.

2185. 20 Reu hefyd a fu fyw ddeuddeng mly-
[e] Luc 3. nedd ar hugain, ac a genhedlodd [e] Serug.
35. *Saruc.* 21 A Reu a fu fyw wedi iddo genhedlu
Serug, saith o flynyddoedd a dau can mly-
nedd, ac a genhedlodd feibion a merched.
2155. 22 Serug hefyd a fu fyw ddeng mlynedd
† Neu, ar hugain, ac a genhedlodd † Nachor.
*Nahor.* 23 A Serug a fu fyw wedi iddo genhedlu
Nachor, ddau can mlynedd, ac a genhedlodd
feibion a merched.
2126. 24 Nachor hefyd a fu fyw naw mlynedd
[f] Luc 3. ar hugain, ac a genhedlodd [f] Terah.
34. *Thara.* 25 A Nachor a fu fyw wedi iddo gen-
hedlu Terah, onid un flwyddyn chwech
ugain mlynedd, ac a genhedlodd feibion a
merched.
2056. 26 Terah hefyd a fu fyw ddeng mlynedd
[g] Jos. 24. 2. a thrugain, ac [g] a genhedlodd Abram, Na-
1 Chron. 1. chor, a Haran.
2. 27 ¶ A dyma genhedlaethau Terah: Te-
rah a genhedlodd Abram, Nachor, a Haran;
a Haran a genhedlodd Lot.
1996. 28 A Haran a fu farw o flaen Terah ei
dad, yngwlâd ei enedigaeth, o fewn Ur y
Caldeaid.
29 Yna y cymmerodd Abram a Nachor
iddynt wragedd: enw gwraig Abram *oedd*
[h] Pen. 22. Sarai; ac enw gwraig Nachor, [h] Milcah,
20. merch Haran, tad Milcah, a thad Iscah.
[i] Pen. 16. 30 A [i] Sarai oedd ammhlantadwy, heb
1, 2. a 18. blentyn iddi.
11, 12. 31 A Therah a gymmerodd Abram ei
fab, a Lot fab Haran, mab ei fab, a Sarai ei
‡ *ferch* ‡ waudd, gwraig Abram ei fab; a hwy a
*ynghyf-* aethant allan ynghŷd o [k] Ur y Caldeaid, i
*raith.*
[k] Neh. 9. 7. fyned i dir Canaan; ac a ddaethant hyd yn
Judeth 5. 7. Haran, ac a drigasant yno.
Act. 7. 4. 32 A dyddiau Terah oedd bum mlynedd
1921. a dau can mlynedd; a bu farw Terah yn
Haran.

PEN. XII.

Cwin- 1 *Duw yn galw Abram, ac yn ei fendithio ef*
cwangei- *trwy addewid o Grist.* 4 *Yntau yn myned*
ma, P. *gyd â Lot o Haran.* 6 *Yn tramwy trwy*
Ion. 7. P. *wlad Canaan,* 7 *yr hon a addewir iddo ef*
*mewn gweledigaeth.* 10 *Newyn yn ei yrru ef*
*i'r Aipht.* 11 *Ofn yn peri iddo ef ddywedyd*
*mai ei chwaer oedd ei wraig.* 14 *Pharaoh,*
*wedi ei dwyn hi oddi arno ef, a gymmhellir*
*gan blaau i'w rhoddi hi yn ei hol.*

1921. A'R [a] ARGLWYDD a ddywedodd wrth
[a] Act. 7. 3. Abram, Dos allan o'th wlad, ac oddi
Heb. 11. 8. wrth dy genedl, ac o dŷ dy dad, i'r wlad a
ddangoswyf i ti.
2 A mi a'th wnaf yn genhedlaeth fawr,
ac a'th fendithiaf, mawrygaf hefyd dy enw;
a thi a fyddi yn fendith.
[b] Pen. 27. 3 [b] Bendithiaf hefyd dy fendithwŷr, a'th
29. felldithwŷr a felldigaf: [c] a holl deuluoedd
Ex. 23. 22.
Num. 24. 9. y ddaear a fendithir ynot ti.
[c] Pen. 18. 4 Yna 'r aeth Abram, fel y llefarasai 'r
18. a 22. ARGLWYDD wrtho; a Lot a aeth gyd ag
18. a 26. 4. ef: ac Abram *oedd* fab pymtheng mlwydd
Psal. 72. 17.
Act. 3. 25. a thrugain pan aeth efe allan o Haran.
Gal. 3. 8. 5 Ac Abram a gymmerodd Sarai ei wraig,
a Lot mab ei frawd, a'u holl olud a gasglas-
ent hwy, a'r eneidiau a ynnillasent yn Ha-
ran, ac aethant allan i fyned i wlad Canaan;
ac a ddaethant i wlad Canaan.
6 ¶ Ac Abram a dramwyodd trwy'r tir
[d] Deut. 11. hyd le Sichem, hyd [d] wastadedd Moreh:
30. a'r [e] Canaanead *oedd* yn y wlad y pryd
[e] Pen. 10. hynny.
18, 19. a
13. 7. 7 A'r ARGLWYDD a ymddangosodd i
[f] Pen. 13. Abram, ac a ddywedodd, [f] I'th had di y
15. rhoddaf y tir hwn: yntau a adeiladodd yno
[g] allor i'r ARGLWYDD, yr hwn a ymddang- [g] Pen. 13. 4.
osasai iddo.
8 Ac efe a dynnodd oddi yno i'r mynydd,
o du dwyrain Bethel, ac a estynodd ei ba-
bell, *gan adael* Bethel tu a'r gorllewin, a Hai
tu a'r dwyrain: ac a adeiladodd yno allor
i'r ARGLWYDD, ac a alwodd ar enw 'r AR-
GLWYDD.
9 Ac Abram a ymdeithiodd, gan fyned
ac ymdaith tu a'r dehau.
10 ¶ Ac yr oedd newyn yn y tir; ac
Abram [h] a aeth i waered i'r Aipht, i ymdei- [h] Psal. 105.
thio yno, am drymhâu o'r newyn yn y 13.
wlad.
11 A bu, ac efe yn nesâu i fyned i mewn
i'r Aipht, ddywedyd o hono wrth Sarai ei
wraig, Wele yn awr mi a wn mai gwraig
lân yr olwg *wyt* ti:
12 A phan welo 'r Aiphtiaid dydi, hwy
a ddywedant, Dyma ei wraig ef; a hwy
a'm lladdant i, a thi a adawant yn fyw.
13 [i] Dywed, attolwg, *mai* fy chwaer *wyt* [i] Pen. 20.
ti: fel y byddo da i mi er dy fwyn di, ac y 13.
byddwyf fyw o'th blegid di. Edr. Pen.
26. 7.
14 ¶ A bu, pan ddaeth Abram i'r Aipht, Cylch
i'r Aiphtiaid edrych ar y wraig, mai glân 1920.
odiaeth *oedd* hi.
15 A thywysogion Pharaoh a'i gwelsant hi,
ac a'i canmolasant hi wrth Pharaoh: a'r
wraig a gymmerwyd i dŷ Pharaoh.
16 Ac efe [k] a fu dda wrth Abram er ei [k] Pen. 20.
mwyn hi: ac yr oedd ganddo ef ddefaid, † a 14.
gwartheg, ac asynod, a gweision, a morwy- † *ac ychen.*
nion, ac asenod, a chamelod.
17 A'r ARGLWYDD [l] a darawodd Pha- [l] Pen. 20.
raoh a'i dŷ â phlaau mawrion, o achos Sarai 18.
gwraig Abram. 1 Chron.
16. 21.
18 A Pharaoh a alwodd Abram, ac a ddy- Psal. 105.
wedodd, Pa ham y gwnaethost hyn i mi? 14.
Pa ham na fynegaist i mi mai dy wraig
*oedd hi?*
19 Pa ham y dywedaist, Fy chwaer *yw*
hi? fel y cymmerwn hi yn wraig i mi: ond
yr awr hon wele dy wraig, cymmer *hi*, a dos
ymaith.
20 A Pharaoh a roddes orchymyn i '*w*
ddynion o'i blegid ef: a hwy a'i gollyng-
asant ef ymaith, a'i wraig, a'r hyn oll oedd
eiddo ef.

PEN. XIII.

1 *Abram a Lot yn dychwelyd o'r Aipht.* 7 Ion. 8. B.
*Trwy anghyttundeb yn ymadael â'u gilydd.*
10 *Lot yn myned i Sodom ddrygionus.* 14
*Duw yn adnewyddu'r cyfammod i Abram.*
18 *Yntau yn symmudo i Hebron, ac yn*
*adeiladu allor yno.*

AC Abram a aeth i fynu o'r Aipht, efe Cylch
a'i wraig, a'r hyn oll *oedd* eiddo; a Lot 1918.
gyd ag ef, i'r dehau.
2 Ac Abram *oedd* gyfoethog iawn o ani-
feiliaid, *ac* o arian, ac aur.
3 Ac efe a aeth ar ei deithiau, o'r dehau
hyd Bethel, hyd [a] y lle y buasai ei babell ef [a] Pen. 12.
yddo y dechreuad, rhwng Bethel a Hai; 8.
4 I le'r allor a wnaethai efe yno o'r cyn-
taf: ac yno y galwodd Abram ar enw yr
ARGLWYDD.
5 ¶ Ac i Lot hefyd, yr hwn a aethai gyd
ag Abram, yr oedd defaid, a gwartheg, a
phebyll.
6 [b] A'r wlad nid oedd abl i'w cynnal [b] Pen. 36.
hwynt i drigo ynghŷd; am fod eu cyfoeth 7.
hwynt yn helaeth, fel na allent drigo yng-
hŷd.

7 Cynnen hefyd oedd rhwng bugeilydd anifeiliaid Abram a bugeilydd anifeiliaid Lot: [c] y Canaaneaid hefyd a'r Phereziaid oedd yna yn trigo yn y wlad.

[c] Pen. 12. 6.

8 Ac Abram a ddywedodd wrth Lot, Na fydded cynnen, attolwg, rhyngof fi a thi, na rhwng fy mugeiliaid i a'th fugeiliaid di; o herwydd ‡ brodyr ydym ni.

‡ Heb. *gwŷr o frodyr.* Edr. Pen. 11. 27. Exod. 2. 13. Act. 7. 26.

9 [d] Onid yw yr holl dir o'th flaen di? Ymneilldua, attolwg, oddi wrthyf: os ar y llaw aswy y *troi di,* minnau a droaf ar y ddehau; ac os ar y llaw ddehau, minnau *a droaf* ar yr aswy.

[d] Pen. 20. 15. a 34. 10.

Cylch 1917.

10 A Lot a gyfododd ei olwg, ac a welodd holl wastadedd yr Iorddonen, mai dyfradwy *ydoedd* oll, cyn i'r ARGLWYDD ddifetha Sodom a Gomorrah, fel gardd yr ARGLWYDD, fel tir yr Aipht, ffordd yr elych i Soar.

11 A Lot a ddewisodd iddo holl wastadedd yr Iorddonen, a Lot a aeth tu a'r dwyrain: felly yr ymneillduasant bob un oddi wrth eu gilydd.

12 Abram a drigodd yn nhir Canaan; a Lot a drigodd yn ninasoedd y gwastadedd, ac a luestodd hyd Sodom.

[e] Pen. 18. 20. Ezec. 16. 49.

13 A [e] dynion Sodom *oedd* ddrygionus, ac yn pechu yn erbyn yr ARGLWYDD yn ddirfawr.

[f] Pen. 12. 7. a 15. 18. a 17. 8. a 24. 7. a 26. 4. Deut. 34. 4. Act. 7. 5.

14 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Abram, wedi ymneillduo o Lot oddi wrtho ef, Cyfod dy lygaid, ac edrych o'r lle yr wyt ynddo, tu a'r gogledd, a'r dehau, a'r dwyrain, a'r gorllewin.

[g] Pen. 15. 5. a 22. 17. a 26. 4. a 28. 14. a 32. 12. Ex. 32. 13. Num. 23. 10. Deut. 1. 10. 1 Bren. 4. 20. 1 Chron. 27. 23. Es. 48. 19. Jer. 23. 21. Heb. 11. 12.

15 Canys yr holl dir a weli, [f] i ti y rhoddaf ef, ac i'th had byth.

16 [g] Gwnaf hefyd dy had di fel llwch y ddaear; megis os dichon gwr rifo llwch y ddaear, yna y rhifir dy had dithau.

17 Cyfod, rhodia trwy 'r wlad, ar ei hŷd, ac ar ei lled; canys i ti y rhoddaf hi.

18 Ac Abram a symmudodd *ei* luest, ac a ddaeth, ac [h] a drigodd yngwastadedd Mamre, [i] yr hwn *sydd* yn Hebron, ac a adeiladodd yno allor i'r ARGLWYDD.

[h] Pen. 14. 13. [i] Pen. 35. 27. a 37. 14.

## PEN. XIV.

Ion. 8. P.

1 *Pedwar brenhin yn rhyfela yn erbyn pump.* 12 *Dala Lot yn garcharor.* 14 *Abram yn ei achub ef.* 18 *Melchisedec yn bendithio Abram.* 20 *Abram yn talu degwm iddo ef.* 22 *Wedi i'w gyfranwŷr gael eu rhannau, mae efe yn rhoddi 'r rhan arall o'r ysglyfaeth i frenhin Sodom.*

Cylch 1926.

A Bu yn nyddiau Amraphel brenhin Sinar, Arioch brenhin Elasar, Cedorlaomer brenhin Elam, a Thidal brenhin y cenhedloedd;

2 Wneuthur o honynt ryfel â Bera brenhin Sodom, ac â Birsa brenhin Gomorrah, *a* Sinab brenhin Admah, ac â Semeber brenhin Seboim, ac â brenhin Bela, hon *yw* [a] Soar.

[a] Pen. 19. 22.

3 Y rhai hyn oll a ymgyfarfuant yn nyffryn Sidim: hwnnw yw 'r môr heli.

[b] Pen. 15. 20. [c] Deut. 2. 20.

4 Deuddeng mlynedd y gwasanaethasant Cedorlaomer, a'r drydedd flwyddyn ar ddeg y gwrthryfelasant.

Cylch 1913.

5 A'r bedwaredd flwyddyn ar ddeg y daeth Cedorlaomer, a'r brenhinoedd y rhai *oedd* gyd ag ef, ac a darawsant y [b] Rephaimiaid yn Asteroth-Carnaim, [c] a'r Zuziaid yn Ham, [d] a'r Emiaid yn † Safeh-Ciriathaim,

[d] Deut. 2. 10, 11. † *gwastadedd.* [e] Deut. 2. 12.

6 [e] A'r Horiaid yn eu mynydd Seir, hyd † wastadedd Paran, yr hwn *sydd* wrth yr anialwch.

† *El.* Num. 12. 16. a 13. 3

7 Yna y dychwelasant, ac y daethant i Enmispat, honno *yw* Cades, ac a darawsant holl wlad yr Amaleciaid, a'r Amoriaid hefyd, y rhai oedd yn trigo yn [f] Haseson-tamar.

[f] 2 Chron. 20. 2.

8 Allan hefyd yr aeth brenhin Sodom, a brenhin Gomorrah, a brenhin Admah, a brenhin Seboim, a brenhin Bela, honno *yw* Soar: ac yn nyffryn Sidim y lluniaethasant ryfel â hwynt;

9 A Chedorlaomer brenhin Elam, a Thidal brenhin y cenhedloedd, ac Amraphel brenhin Sinar, ac Arioch brenhin Elasar: pedwar brenhin yn erbyn pump.

10 A dyffryn Sidim *oedd* lawn o byllau clai; a brenhinoedd Sodom a Gomorrah a ffoisant, ac a syrthiasant yno: a'r lleill a ffoisant i 'r mynydd.

11 A hwy a gymmerasant holl gyfoeth Sodom a Gomorrah, a'u holl luniaeth hwynt, ac a aethant ymaith.

12 Cymmerasant hefyd Lot *nai* fab brawd Abram, a'i gyfoeth, ac a aethant ymaith; o herwydd yn Sodom yr ydoedd efe'n trigo.

13 A daeth un a ddiangasai, ac a fynegodd i Abram yr Hebread, ac [g] efe yn trigo yngwastadedd Mamre 'r Amoriad, brawd Escol, a brawd Aner; a'r rhai hyn *oedd* mewn cyngrair ag Abram.

[g] Pen. 13. 18.

14 A phan glybu Abram gaethgludo ei frawd, efe a ‡ arfogodd o'i hyfforddus *weision* a anesid yn ei dŷ ef, ddau naw a thrichant, ac a ymlidiodd hyd Ddan.

‡ Neu, *ddygodd allan.*

15 Ac efe a ymrannodd yn eu herbyn hwy liw nos, efe a'i weision, ac [h] a'u tarawodd hwynt, ac a'u hymlidiodd hyd Hobah, yr hon *sydd* o'r tu aswy i Ddamascus.

[h] Es. 41. 2, 3.

16 Ac efe a ddug drachefn yr holl gyfoeth, a'i frawd Lot hefyd, a'i gyfoeth a ddug efe drachefn, a'r gwragedd hefyd, a'r bobl.

17 ¶ A brenhin Sodom a aeth allan i'w gyfarfod ef (wedi ei ddychwelyd o daro Cedorlaomer, a'r brenhinoedd oedd gyd ag ef) i ddyffryn Safeh, hwn yw [i] dyffryn y brenhin.

[i] 2 Sam. 18. 18.

18 [k] Melchisedec hefyd, brenhin Salem, a ddug allan fara a gwin; ac efe *oedd* offeiriad i DDUW goruchaf:

[k] Heb. 7. 1.

19 Ac a'i bendithiodd ef, ac a ddywedodd, Bendigedig fyddo Abram gan DDUW goruchaf, meddiannydd nefoedd a daear:

20 A bendigedig fyddo DUW goruchaf, yr hwn a roddes dy elynion yn dy law. Ac efe a roddes iddo [l] ddegwm o'r cwbl.

[l] Heb. 7. 4.

21 A dywedodd brenhin Sodom wrth Abram, Dod i mi § y dynion, a chymmer i ti y cyfoeth.

§ Heb. *yr eneidiau.*

22 Ac Abram a ddywedodd wrth frenhin Sodom, Dyrchefais fy llaw at yr ARGLWYDD DDUW goruchaf, meddiannydd nefoedd a daear,

23 [m] Na chymmerwn, o edau hyd garrai esgid, nac o'r hyn oll *sydd* eiddot ti; rhag dywedyd o honot, Myfi a gyfoethogais Abram:

[m] Felly Est. 9. 15, 16.

24 Ond yn unig yr hyn a fwyttaodd y llangciau, a rhan y gwŷr a aethant gyd â mi, Aner, Escol, a Mamre: cymmerant hwy eu rhan.

## PEN. XV.

Lon. 9. B. 1 *Duw yn cysuro Abram. 2 Abram yn cwyno nad oedd ganthô etifedd. 4 Duw yn addaw mab iddo, ac amlhau ei had ef. 6 Abram a gyfiawnheir trwy ffydd. 7 Addewid o wlad Canaan trachefn, a'i gadarnhâu trwy arwydd. 12 a gweledigaeth.*

1913. WEDI 'r pethau hyn, y daeth gair yr ARGLWYDD at Abram mewn gweledigaeth, gan ddywedyd, Nac ofna, Abram; myfi *ydwyf* dy [a] darian, dy [b] wobr mawr iawn.

2 A dywedodd Abram, ARGLWYDD DDUW, beth a roddi di i mi? gan fy mod yn myned yn ddiblant, a goruchwiliwr fy nhŷ *yw* Eleazar yma o Ddamascus.

3 Abram hefyd a ddywedodd, Wele, ni roddaist i mi had; ac wele, fy nghaethwas sydd fy etifedd.

4 Ac wele air yr ARGLWYDD atto ef, gan ddywedyd, Nid hwn fydd dy etifedd, onid un a ddaw allan o'th ymysgaroedd di fydd dy etifedd.

5 Ac efe a'i dug ef allan, ac a ddywedodd, Golyga yn awr y nefoedd, a rhif y ser, [c] o gelli eu cyfrif hwynt: dywedodd hefyd wrtho, [d] Felly y bydd dy had di.

6 Yntau [e] a gredodd yn yr ARGLWYDD, ac efe [f] a'i cyfrifodd iddo yn gyfiawnder.

7 Ac efe a ddywedodd wrtho, Myfi *yw* yr ARGLWYDD, yr hwn a'th ddygais di allan o [g] Ur y Caldeaid, [h] i roddi i ti y wlad hon i'w hetifeddu.

8 Yntau a ddywedodd, ARGLWYDD DDUW, [i] trwy ba beth y caf wybod yr etifeddaf hi?

9 Ac efe a ddywedodd wrtho, Cymmer i mi anner dair blwydd, a gafr dair blwydd, a hwrdd tair blwydd, a thurtur, a chyw colommen.

10 Ac [k] efe a gymmerth iddo y rhai hyn oll, ac a'u holltodd hwynt ar hŷd *eu* canol, ac a roddodd bob rhan ar gyfer eu gilydd; ond [l] ni holltodd efe yr adar.

11 A phan ddisgynai yr adar ar y celaneddau, yna Abram a'u † tarfai hwynt.

12 A phan oedd yr haul ar fachludo, y syrthiodd trymgwsg ar Abram: ac wele ddychryn, *a* thywyllni mawr, yn syrthio arno ef.

13 Ac efe a ddywedodd wrth Abram, Gan wybod gwybydd, [m] y bydd dy had di yn ddieithr mewn gwlad nid *yw* eiddynt, ac a'u gwasanaethant, a [n] hwythau a'u cystuddiant bedwar can mlynedd.

14 A'r genhedlaeth hefyd yr hon a wasanaethant, a farnaf fi: ac wedi hynny [o] y deuant allan â chyfoeth mawr.

15 A thi a ai at dy dadau mewn heddwch: [p] ti a gleddir mewn henaint teg.

16 Ac *yn* [q] y bedwaredd oes y dychwelant yma; canys ni chyflawnwyd etto anwiredd yr Amoriaid.

17 A bu pan fachludodd yr haul, a hi yn dywyll, wele ffwrn yn mygu, a lamp danllyd yn tramwyo rhwng y darnau hynny.

18 Yn y dydd hwnnw [r] y gwnaeth yr ARGLWYDD gyfammod ag Abram, gan ddywedyd, [s] I'th had di y rhoddais y wlad hon, o afon yr Aipht hyd yr afon fawr, afon Euphrates:

19 Y Ceneaid, a'r Ceneziaid, a'r Cadmoniaid,

[a] Psal. 3. 3. a 5. 12. a 84. 11. a 91. 4. a 119. 114. [b] Psal. 16. 5. [c] Jer. 33. 22. [d] Exod. 32. 13. Deut. 10. 22. 1 Chron. 27. 23. Rhuf. 4. 18. Heb. 11. 12. Edr. Pen. 13. 16. [e] Rhuf. 4. 3. 9. 22. Gal. 3. 6. Ia. 2. 23. [f] Psal. 106. 31. [g] Pen. 11. 28. [h] Psal. 105. 42. [i] Edr. Pen. 24. 13, 14. Barn. 6. 17. 37. 1 Sam. 14. 9, 10. 2 Br. 20. 8. [k] Jer. 34. 18. [l] Lef. 1. 17. † *cyrrai ymaith.* [m] Ex. 12. 40. Act. 7. 6. [n] Ex. 1. 11. [o] Ex. 12. 36. Psal. 105. 37. [p] Pen. 25. 8. [q] Ex. 12. 40. [r] Pen. 24. 7. [s] Pen. 12. 7. a 13. 15. a 26. 4. Ex. 23. 31. Num. 34. 3. Deut. 1. 7. a 11. 24. a 34. 4. Jos. 1. 4. 1 Bren. 4. 21. 2 Chron. 9. 26. Neh. 9. 8. Es. 27. 12.

20 Yr Hethiaid hefyd, a'r Phereziaid, a'r Rephaimiaid,

21 Yr Amoriaid hefyd, a'r Canaaneaid, a'r Girgasiaid, a'r Jebusiaid.

## PEN. XVI.

1 *Sarai yn ammhlantadwy, yn rhoddi Agar i Abram. 6 Agar wedi ei chystuddio am ddirmygu ei meistres, yn rhedeg i ffordd. 9 Angel yn ei danfon hi yn ei hôl i'w darostwng ei hun, 11 ac yn dywedyd iddi am ei mab. 15 Genedigaeth Ismael.* Lon. 9. P.

SARAI hefyd, gwraig Abram, ni phlant- 1911.
asai iddo; ac yr ydoedd iddi forwyn o Aiphtes, a'i henw [a] Agar.

2 A Sarai a ddywedodd wrth Abram, Wele yn awr, yr ARGLWYDD a luddiodd i mi blanta: [b] dos, attolwg, at fy llawforwyn; fe allai † y cair i mi blant o honi hi: ac Abram a wrandawodd ar lais Sarai.

3 A Sarai, gwraig Abram, a gymmerodd ei morwyn Agar yr Aiphtes, wedi trigo o Abram ddeng mlynedd yn nhir Canaan, a hi a'i rhoddes i Abram ei gwr yn wraig iddo.

4 ¶ Ac efe a aeth i mewn at Agar, a hi a feichiogodd: a phan welodd hithau feichiogi o honi, yr oedd ei meistres yn wael yn ei golwg hi.

5 Yna y dywedodd Sarai wrth Abram, *Bydded* fy ngham i arnat ti: mi a roddais fy morwyn i'th fynwes, a hithau a welodd feichiogi o honi, a gwael ydwyf yn ei golwg hi: barned yr ARGLWYDD rhyngof fi a thi.

6 Ac Abram a ddywedodd wrth Sarai, Wele dy forwyn yn dy law di; gwna iddi yr hyn a fyddo da yn dy olwg dy hun: yna Sarai a'i cystuddiodd hi, a hithau a ffodd ‡ rhagddi hi.

7 ¶ Ac angel yr ARGLWYDD a'i cafodd hi wrth ffynnon ddwfr, yn yr anialwch, wrth y ffynnon yn ffordd [c] Sur:

8 Ac efe a ddywedodd, Agar, morwyn Sarai, o ba le y daethost? ac i ba le yr ai di? A hi a ddywedodd, Ffoi yr ydwyf fi rhag wyneb fy meistres Sarai.

9 Ac angel yr ARGLWYDD a ddywedodd wrthi, Dychwel at dy feistres, ac ymddarostwng tan ei dwylaw hi.

10 Angel yr ARGLWYDD a ddywedodd hefyd wrthi hi, [d] Gan amlhâu yr amlhâf dy had di, fel na rifir ef o liosowgrwydd.

11 Dywedodd angel yr ARGLWYDD hefyd wrthi hi, Wele di yn feichiog, a thi a esgori ar fab, ac a elwi ei enw ef § Ismael: canys yr ARGLWYDD a glybu dy gystudd di.

12 Ac efe a fydd ddyn gwyllt, a'i law yn erbyn pawb, a llaw pawb yn ei erbyn yntau; [e] ac efe a drig ger bron ei holl frodyr.

13 [f] A hi a alwodd enw 'r ARGLWYDD, yr hwn oedd yn llefaru wrthi, Ti, O DDUW, wyt yn edrych arnaf fi: canys dywedodd, Oni edrychais yma hefyd ar ol yr hwn sydd yn edrych arnaf?

14 Am hynny y galwyd y ffynnon [g] || Beer-lahai-roi: wele, rhwng Cades a Bered *y mae hi.*

15 ¶ Ac [h] Agar a ymddûg fab i Abram: ac Abram a alwodd enw ei fab a ymddygasai Agar, Ismael.

16 Ac Abram *oedd* fab pedwar ugain mlwydd a chwech o flynyddoedd, pan ymddûg Agar Ismael i Abram. 1910.

[a] Gal. 4. 24. [b] Felly Pen. 30. 3, 9. † Heb. *yr adeiledir fi genthi hi.* ‡ Heb. *rhac ei hwyneb.* [c] Ex. 15. 22. [d] Pen. 17. 20. § Sef, *Duw a wrendy.* [e] Pen. 25. 18. [f] Edr. Pen. 32. 30. [g] Pen. 24. 62. a 25. 11. || Sef, *ffynnon yr hwn sy'n byw ac yn fy ngweled.* [h] Gal. 4. 22.

## PEN. XVII.

*1 Duw yn adnewyddu 'r cyfammod. 5 Newidio enw Abram, yn arwydd o fendith mwy. 10 Ordeinio enwaediad. 15 Newid enw Sarai, a'i bendithio. 16 Addewid o Isaac. 23 Enwaedu ar Abraham ac Ismael.*

1898. A Phan oedd Abram onid un mlwydd
cant, yr ymddangosodd yr ARGLWYDD
i Abram, ac a ddywedodd wrtho, Myfi *yw*
[a] Pen. 5. 22. a 48. 15. Duw hollalluog, [a] rhodia ger fy mron i, a
1 Br. 2. 4. bydd † berffaith.
a 8. 25. 2 A mi a wnaf fy nghyfammod rhyngof a
† Neu, thi, ac [b] a'th amlhâf di yn aml iawn.
union, neu, bur. 3 Yna y syrthiodd Abram ar ei wyneb; a
[b] Pen. 12. llefarodd Duw wrtho ef, gan ddywedyd,
2. a 13. 16. 4 Myfi, wele, mi *a wnaf* fy nghyfammod
‡ Lliaws. â thi, a thi a fyddi yn dad ‡ llawer o gen-
hedloedd.
5 A'th enw ni elwir mwy Abram, onid
[c] Neh. 9. 7. [c] dy enw fydd Abraham; [d] canys yn dad
[d] Rhuf. 4. 17. llawer o genhedloedd y'th wneuthum.
6 A mi a'th wnaf yn ffrwythlon iawn,
[e] Pen. 35. 11. ac a wnaf [e] genhedloedd o honot ti, a
brenhinoedd a ddaw allan o honot ti.
7 Cadarnhâf hefyd fy nghyfammod
rhyngof a thi, ac â'th had ar dy ol di, trwy
eu hoesoedd, yn gyfammod tragywyddol,
i fod yn DDUW i ti, ac i'th had ar dy ol di.
[f] Pen. 12. 7. a 13. 15. 8 A [f] mi a roddaf i ti, ac i'th had ar dy
ol di, wlad dy ymdaith, *sef* holl wlad Ca-
naan, yn etifeddiaeth dragywyddol; a mi a
fyddaf yn DDUW iddynt.
9 ¶ A Duw a ddywedodd wrth Abra-
ham, Cadw dithau fy nghyfammod i, ti a'th
had ar dy ol, trwy eu hoesoedd.
10 Dyma fy nghyfammod a gedwch
rhyngof fi a chwi, a'th had ar dy ol di:
[g] Act. 7. 8. [g] enwaedir pob gwrryw o honoch chwi.
11 A chwi a enwaedwch gnawd eich
[h] Rhuf. 4. 11. dïenwaediad: a bydd [h] yn arwydd cyfam-
mod rhyngof fi a chwithau.
[i] Lef. 12. 3. Luc 2. 21. Io. 7. 22. 12 Pob gwrryw yn wyth niwrnod oed [i] a
enwaedir i chwi trwy eich cenhedlaethau:
yr hwn a aner yn tŷ, ac a bryner am arian
gan neb dïeithr, yr hwn nid yw o'th had di.
13 Gan enwaedu enwaeder yr hwn a aner
yn dy dŷ di, ac a bryner am dy arian di:
a bydd fy nghyfammod yn eich cnawd chwi,
yn gyfammod tragywyddol.
14 A'r gwrryw dïenwaededig yr hwn ni
enwaeder cnawd ei ddïenwaediad, torrir
ymaith yr enaid hwnnw o fysg ei bobl:
*oblegid* efe a dorrodd fy nghyfammod i.
15 ¶ Duw hefyd a ddywedodd wrth
Abraham, Sarai dy wraig ni elwi ei henw
Sarai, onid Sarah *fydd* ei henw hi.
16 Bendithiaf hi hefyd, a rhoddaf i ti fab
o honi: ïe bendithiaf hi, fel y byddo yn
[k] Pen. 35. 11. [k] genhedloedd; brenhinoedd pobloedd fydd
o honi hi.
17 Ac Abraham a syrthiodd ar ei wyneb,
ac a chwarddodd, ac a ddywedodd yn ei
galon, A blentir i fab can mlwydd? ac a
blanta Sarah yn ferch ddeng mlwydd a
phedwar ugain?
18 Ac Abraham a ddywedodd wrth
DDUW, Oh na byddai fyw Ismael ger dy
fron di!
[l] Pen. 18. 10. a 21. 2. 19 A Duw a ddywedodd, [l] Sarah dy
wraig a ymddŵg i ti fab yn ddïau; a thi a
elwi ei enw ef Isaac: a mi a gadarnhâf fy
nghyfammod ag ef yn gyfammod tragywyd-
dol, *ac* â'i had ar ei ol ef.
20 Am Ismael hefyd y'th wrandewais:
[m] Pen. 16. 10. wele [m] mi a'i bendithiais ef, a mi a'i
ffrwythlonaf ef, ac a'i lliosogaf yn aml
iawn: [n] deuddeg tywysog a genhedla efe, a [n] Pen. 25. 12, 16.
mi a'i gwnaf ef yn genhedlaeth fawr.
21 Eithr fy nghyfammod a gadarnhâf ag
Isaac, [o] yr hwn a ymddŵg Sarah i ti y pryd [o] Pen. 21. 2.
hwn, y flwyddyn nesaf.
22 Yna y peidiodd a llefaru wrtho; a
Duw a aeth i fynu oddi wrth Abraham.
23 ¶ Ac Abraham a gymmerodd Ismael
ei fab, a'r rhai oll a anesid yn ei dŷ ef, a'r
rhai oll a brynasai efe â'i arian, pob gwrryw
o ddynion tŷ Abraham, ac efe a enwaed-
odd gnawd eu dïenwaediad hwynt o fewn
corph y dydd hwnnw, fel y llefarasai Duw
wrtho ef.
24 Ac Abraham *oedd* fab onid un mlwydd 1898.
cant, pan enwaedwyd cnawd ei ddïenwaed-
iad ef.
25 Ac Ismael ei fab ef yn fab tair blwydd
ar ddeg, pan enwaedwyd cnawd ei ddïen-
waediad ef.
26 O fewn corph y dydd hwnnw 'r en-
waedwyd Abraham, ac Ismael ei fab.
27 A holl ddynion ei dŷ ef, y rhai a ane-
sid yn tŷ, ac a brynesid ag arian gan neb
dïeithr, a enwaedwyd gyd ag ef.

## PEN. XVIII.

*1 Abraham yn derbyn tri angel i'w dŷ. 9 Sa-* Sal y Drindod,
*rah a geryddir am chwerthin rhyngddi a* P.
*hi ei hun o ran yr addewid dïeithr. 17 Duw* Ion. 10. P.
*yn rhybuddio Abraham am ddinystr So-
dom. 23 Ac Abraham yn eiriol trostynt.*

A'R ARGLWYDD a ymddangosodd iddo 1898.
ef yngwastadedd Mamre, ac efe yn eis-
tedd *wrth* ddrws y babell, yngwrês y dydd.
2 [a] Ac efe a gododd ei lygaid, ac a ed- [a] Heb. 13.
rychodd, ac wele driwŷr yn sefyll ger ei 2.
fron: a phan eu gwelodd, efe a redodd o
ddrws y babell i'w cyfarfod hwynt, ac a
ymgrymmodd tu a'r ddaear,
3 Ac a ddywedodd, Fy Arglwydd, os
cefais yn awr ffafr yn dy olwg di, na ddos
heibio, attolwg, oddi wrth dy was.
4 [b] Cymmerer, attolwg, ychydig ddwfr, [b] Pen. 43.
a golchwch eich traed, a gorphwyswch dan 24.
y pren;
5 Ac [c] mi a ddygaf dammaid o fara, a [c] Barn. 6.
chryfhêwch eich calon; wedi hynny y cewch 18. a 13.
fyned ymaith: [d] o herwydd i hynny y 15.
daethoch † at eich gwas. A hwy a ddywe- [d] Pen. 19.
dasant, Gwna felly fel y dywedaist. 8. a 33. 10.
6 Ac Abraham a frysiodd i 'r babell at † Heb. heibio i'ch.
Sarah, ac a ddywedodd, Parottoa ar frys
dair phiolaid o flawd peilliaid, tylina, a
gwna yn deisennau.
7 Ac Abraham a redodd at y gwartheg,
ac a gymmerodd lo tyner a da, ac a'i rhodd-
odd at y llangc, yr hwn a frysiodd i'w ba-
rottôi ef.
8 Ac efe a gymmerodd ymenyn, a llaeth,
a'r llo a barottoisai efe, ac a'i rhoddes o'u
blaen hwynt: ac efe a safodd gyd â hwynt
tan y pren; a hwy a fwyttasant.
9 ¶ A hwy a ddywedasant wrtho ef, Mae
Sarah dy wraig? Ac efe a ddywedodd, [e] Act. 14.
Wele *hi* yn y babell.
10 Ac *un* a ddywedodd, [e] Gan ddych- 4. 16.
welyd y dychwelaf attat [f] ynghylch amser [f] 2 Bren.
bywiolaeth; ac wele [g] fab i Sarah dy wraig. [g] Pen. 17. 19, 21.
A Sarah oedd yn clywed *wrth* ddrws y a 21. 2.
babell, yr hwn *oedd* o'i ol ef. Rhuf. 9. 9.
11 [h] Abraham hefyd a Sarah *oedd* hen, [h] Pen. 17. 17.
wedi myned mewn oedran; *a* pheidiasai fod Rhuf. 4. 19.
i Sarah yn ol arfer gwragedd. Heb. 11.
12 Am hynny y chwarddodd Sarah rhyng- 11, 12.
ddi a hi ei hun, gan ddywedyd, [i] Ai gwedi [i] Luc 1. 18.

[k] 1 Petr 3. 6. fy heneiddio y bydd i mi drythyllwch, [k] a'm
harglwydd yn hen *hefyd?*
13 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Abraham, Pa ham y chwarddodd Sarah fel
hyn, gan ddywedyd, a blantaf innau yn
wir, wedi fy heneiddio?
[l] Ier. 32. 17. Zech. 8. 6. Mat. 19. 26. Luc 1. 37. 14 [l] A fydd dim yn anhawdd i'r AR-
GLWYDD? [m] Ar yr amser nodedig y dych-
welaf attat, ynghylch amser bywiolaeth, a
mab *fydd* i Sarah.
[m] Pen. 17. 21. 15 A Sarah a wadodd, gan ddywedyd,
Ni chwerddais i; o herwydd hi a ofnodd.
Yntau a ddywedodd, Nag è, oblegid ti a
chwerddaist.
16 ¶ A'r gwŷr a godasant oddi yno, ac
a edrychasant tu a Sodom: ac Abraham a
[n] Rhuf. 15. 24. 3 Io. 6. aeth gyd â hwynt, [n] i'w hanfon hwynt.
17 A'r ARGLWYDD a ddywedodd, [o] A
[o] Am. 3. 7. Io. 15. 15. gelaf fi rhag Abraham yr hyn a wnaf?
18 Canys Abraham yn ddïau a fydd yn
[p] Pen. 12. 3. a 22. 18. Act. 3. 25. Gal 3. 8. genhedlaeth fawr a chref, ac [p] ynddo ef y
bendithir holl genhedloedd y ddaear.
19 Canys mi a'i hadwaen ef, y gorchym-
yn efe i'w blant, ac i'w dylwyth ar ei ol,
gadw o honynt ffordd yr ARGLWYDD, gan
wneuthur cyfiawnder a barn; fel y dygo'r
ARGLWYDD ar Abraham yr hyn a lefarodd
efe am dano.
20 Yr ARGLWYDD hefyd a ddywedodd,
[q] Pen. 4. 10. a 19. 13. Ia. 5. 4. Am *fod* [q] gwaedd Sodom a Gomorrah yn
ddirfawr, a'u pechod hwynt yn drwm iawn;
[r] Pen. 11. 5. 21 [r] Disgynaf yn awr, ac edrychaf, ai yn
ol eu gwaedd a ddaeth attaf fi, y gwnaethant
yn hollol: ac onid e, mynnaf wybod.
22 A'r gwŷr a droisant oddi yno, ac a
aethant tu a Sodom: ac Abraham yn sefyll
etto ger bron yr ARGLWYDD.
23 ¶ Abraham hefyd a nesaodd, ac a
ddywedodd, A ddifethi di'r cyfiawn hefyd
ynghŷd â'r annuwiol?
[s] Jer. 5. 1. 24 [s] Ond odid mae deg a deugain o rai
cyfiawn yn y ddinas: a ddifethi di *hwynt*
hefyd, ac ni arbedi y lle er mwyn y deg
a deugain cyfiawn sydd o'i mewn hi?
25 Na byddo i ti wneuthur y cyfryw beth,
gan ladd y cyfiawn gyd â'r annuwiol, fel y
byddo'r cyfiawn megis yr annuwiol; na
[t] Iob 8. 3. a 34. 17 Rhuf. 3. 6. byddo *hynny* i ti: [t] oni wna barnydd yr
holl ddaear farn?
26 A dywedodd yr ARGLWYDD, Os caf
fi yn Sodom ddeg a deugain yn gyfiawn o
fewn y ddinas, mi a arbedaf yr holl fangre
er eu mwyn hwynt.
27 Ac Abraham a attebodd, ac a ddywed-
odd, Wele yn awr y dechreuais lefaru wrth
[u] Pen. 3. 19. Iob 4. 19. Preg. 12. 7. 1 Cor. 15. 47, 48. 2 Cor. 5. 1. fy ARGLWYDD, a mi [u] yn llwch ac yn lludw.
28 Ond odid bydd pump yn eisiau o'r deg
a deugain cyfiawn: a ddifethi di'r holl
ddinas er pump? Yntau a ddywedodd, Na
ddifethaf os caf yno bump a deugain.
29 Ac efe a 'chwanegodd lefaru wrtho ef
etto, ac a ddywedodd, Ond odid cair yno
ddeugain. Yntau a ddywedodd, Ni's gwnaf
er mwyn y deugain.
30 Ac efe a ddywedodd, Oh na ddigied
fy ARGLWYDD os llefaraf: Cair yno ond
odid ddeg ar hugain. Yntau a ddywedodd,
Ni's gwnaf os caf yno ddeg ar hugain.
31 Yna y dywedodd efe, Wele yn awr y
dechreuais lefaru wrth fy ARGLWYDD:
Ond odid cair yno ugain. Yntau a ddywed-
odd, Ni's difethaf er mwyn ugain.
[x] Barn. 6. 39. 32 Yna y dywedodd, [x] Oh na ddigied fy
ARGLWYDD, a llefaraf y waith hon yn
unig: Ond odid cair yno ddeg. Yntau a
ddywedodd, Ni's difethaf er mwyn deg.

33 A'r ARGLWYDD a aeth ymaith pan
ddarfu iddo ymddiddan ag Abraham: ac
Abraham a ddychwelodd i'w le ei hun.

## PEN. XIX.

1 *Lot yn derbyn angylion i'w dŷ.* 4 *Taro y* Sul 1. o'r Grawys, h. w. 30. B Ion. 11. B.
*Sodomiaid annuwiol â dallineb.* 12 *Danfon*
*Lot i'r mynydd er mwyn ei ddiogeluch.*
18 *Yntau yn cael cennad i fyned i Soar.*
24 *Dinystrio Sodom a Gomorrah.* 26 *Troi*
*gwraig Lot yn golofn halen.* 30 *Lot yn*
*trigo mewn ogof.* 31 *Godinebus fonedd*
*Moab ac Ammon.*

A Dau angel a ddaeth i Sodom yn yr 1898.
hwyr, a Lot yn eistedd ym mhorth
Sodom: a phan welodd Lot, efe a gyfododd
i'w cyfarfod hwynt, ac a ymgrymmodd â'i
wyneb tu a'r ddaear;
2 Ac efe a ddywedodd, Wele yn awr, fy
Arglwyddi, [a] trowch, attolwg, i dŷ eich [a] Heb. 13. 2.
gwas; llettŷwch heno hefyd, a [b] golchwch
eich traed: yna codwch yn fore ac ewch [b] Pen. 18. 4.
i'ch taith. A hwy a ddywedasant, [c] Nag ê; [c] Edr.
o herwydd nyni a arhoswn heno yn yr heol. Luc 24. 28.
3 Ac efe a fu daer iawn arnynt hwy: yna
y troisant atto, ac y daethant i'w dŷ ef; ac
efe a wnaeth iddynt wledd, ac a bobodd
fara croyw, a hwy a fwyttasant.
4 ¶ Eithr cyn gorwedd o honynt, gwŷr
y ddinas, *sef* gwŷr Sodom, a amgylchasant
o amgylch y tŷ, hen ac ieuangc, *sef* yr holl
bobl o bob cwrr.
5 Ac a alwasant ar Lot, ac a ddywedasant
wrtho, Mae'r gwŷr a ddaethant attat ti
heno? [d] dwg hwynt allan attom ni, fel yr [d] Barn. 19. 22.
adnabyddom hwynt.
6 Yna y daeth Lot attynt hwy allan i'r
drws, ac a gauodd y ddor ar ei ol;
7 Ac a ddywedodd, Attolwg, fy mrodyr,
na wnewch ddrwg.
8 [e] Wele yn awr, *y mae* dwy ferched gen- [e] Edr.
nyf fi, y rhai nid adnabuant wr; dygaf Barn. 19. 24.
hwynt allan attoch chwi yn awr, a gwnewch
iddynt fel y gweloch yn dda: yn unig na
wnewch ddim i'r gwŷr hyn; [f] o herwydd [f] Edr.
er mwyn hynny y daethant dan gysgod fy Pen. 18. 5
nghronglwyd i.
9 A hwy a ddywedasant, Saf hwnt: dy-
wedasant hefyd, Efe a ddaeth i ymdaith yn
unig, ac yn awr ai gan farnu y barna efe?
yn awr nyni a wnawn fwy o niweid i ti nag
iddynt hwy. A hwy a bwysasant yn drwm
ar y gwr, *sef* ar Lot, a hwy a nesasant i
dorri'r ddor.
10 A'r gwŷr a estynasant eu llaw, ac a
ddygasant Lot attynt i'r tŷ, ac a gauasant y
ddor.
11 Tarawsant hefyd y dynion [g] *oedd wrth* [g] Doeth.
ddrws y tŷ â dallineb, o fychan i fawr, fel 19. 17. Edr. 2.
y blinasant yn ceisio'r drws. Bren. 6. 18.
12 ¶ A'r gwŷr a ddywedasant wrth Lot, Act. 13. 11.
A oes gennyt ti yma neb etto? mab yng-
hyfraith, a'th feibion, a'th ferched, a'r hyn
oll *sydd* i ti yn y ddinas, a ddygi di allan
o'r fangre hon.
13 Oblegid ni a ddinystriwn y lle hwn;
am fod [h] eu gwaedd hwynt yn fawr ger [h] Pen. 18. 20.
bron yr ARGLWYDD: a'r ARGLWYDD a'n
hanfonodd ni i'w ddinystrio ef.
14 Yna yr aeth Lot allan, ac a lefarodd
wrth ei ddawon, y rhai oedd yn priodi ei
ferched ef, ac a ddywedodd, Cyfodwch,
deuwch allan o'r fan yma; o herwydd y
mae'r ARGLWYDD yn difetha'r ddinas
hon: ac yngolwg ei ddawon yr oedd efe fel
un yn cellwair.

15 ¶ Ac ar godiad y wawr, yr angylion a
fuant daer ar Lot, gan ddywedyd, Cyfod,
cymmer dy wraig, a'th ddwy ferched, y
*ynghos-* rhai sydd i'w cael; rhag dy ddifetha di † yn
*vedigaeth.* anwiredd y ddinas.
Doeth. 16 [i] Yntau a oedd hwyrfrydig, a'r gwŷr
10. 6. a ymaflasant yn ei law ef, ac yn llaw ei
wraig, ac yn llaw ei ddwy ferched; am
dosturio o'r ARGLWYDD wrtho ef; ac a'i
dygasant ef allan, ac a'i gosodasant o'r tu
allan i'r ddinas.
17 Ac wedi iddynt eu dwyn hwynt allan,
[k] Ad. 26. efe a ddywedodd, Dïangc am dy einioes; [k]
Mat. 24. nac edrych ar dy ol, ac na saf yn yr holl
16, 17, 18. wastadedd: dïangc i'r mynydd, rhag dy
Luc 9. 62 ddifetha.
Philip. 3.
13, 14. 18 A dywedodd Lot wrthynt, Oh nid
*felly*, fy ARGLWYDD.
19 Wele yn awr, cafodd dy was ffafr yn
dy olwg, a mawrheaist dy drugaredd a
wnaethost â mi, gan gadw fy einioes; ac ni
allaf fi ddïangc i'r mynydd, rhag i ddrwg
fy ngoddiweddyd, a marw o honof.
20 Wele yn awr, y ddinas hon yn agos i
ffoi iddi, a bechan yw: Oh gad i mi
ddïangc yno: (Onid bechan yw hi?) a byw
fydd fy enaid.
21 Yntau a ddywedodd wrtho, Wele mi
‡ *Dder-* a ‡ ganiatteais dy ddymuniad hefyd am y
*byniais dy* peth hyn, fel na ddinystriwyf y ddinas *am*
*wyneb.* yr hon y dywedaist.
Edr. 22 Brysia, dïangc yno; o herwydd [l] ni
Pen. 32. allaf wneuthur dim nes dy ddyfod yno: am
25, 26.
Ex. 32. 10. hynny y galwodd efe [m] enw y ddinas Soar.
Deut. 9. 14. 23 ¶ Cyfodasai yr haul ar y ddaear, pan
Mar. 6. 5. ddaeth Lot i Soar.
[m] Pen. 13.
10. a 14. 2. 24 Yna 'r [n] ARGLWYDD a wlawiodd ar
[n] Deut. Sodom a Gomorrah frwmstan, a thân oddi
29. 23. wrth yr ARGLWYDD, allan o'r nefoedd.
Luc 17. 29. 25 Felly y dinystriodd efe y dinasoedd
Es. 13. 19.
Jer. 50. 40. hynny, a'r holl wastadedd, a holl drigolion
Ezec. 16. y dinasoedd, a chnwd y ddaear.
49.
Hos. 11. 8. 26 ¶ Eithr ei wraig ef a edrychodd drach
Am. 4. 11. ei chefn o'i du ol ef, a hi a aeth [o] yn golofn
Seph. 2. 9. halen.
2 Petr 2. 6.
Judas 7. 27 ¶ Ac Abraham a aeth yn fore i'r lle
[o] Doeth. [p] y safasai efe ynddo ger bron yr AR-
10. 7. GLWYDD.
Luc 17. 32. 28 Ac efe a edrychodd tu a Sodom a Go-
[p] Pen. 18. morrah, a thu a holl dir y gwastadedd; ac
22. a edrychodd, ac wele cyfododd mwg y tir
fel mwg ffwrn.
29 ¶ A phan ddifethodd Duw ddinas-
oedd y gwastadedd, yna y cofiodd Duw
am Abraham, ac a yrrodd Lot o ganol y
dinystr, pan ddinystriodd efe 'r dinasoedd
yr oedd Lot yn trigo ynddynt.
30 ¶ A Lot a esgynodd o Soar, ac a dri-
godd yn y mynydd, a'i ddwy ferched gyd
ag ef: o herwydd efe a ofnodd drigo yn
Soar; ac a drigodd mewn ogof, efe a'i ddwy
ferched.
31 ¶ A dywedodd yr hynaf wrth yr ieu-
angaf, Ein tad ni *sydd* hen, a gwr nid oes
yn y wlad i ddyfod attom ni, wrth ddefod
yr holl ddaear.
32 Tyred, rhoddwn i'n tad win i'w yfed,
a gorweddwn gyd ag ef, fel y cadwom had
o'n tad.
33 A hwy a roddasant win i'w tad i yfed
y noson honno: a'r hynaf a ddaeth ac a or-
weddodd gyd â'i thad; ac ni wybu efe pan
orweddodd hi, na phan gyfododd hi.
34 A thrannoeth y dywedodd yr hynaf
wrth yr ieuangaf, Wele, myfi a orweddais
neithiwyr gyd â'm tad; rhoddwn win iddo
ef i'w yfed heno hefyd, a dos dithau a gor-
wedd gyd ag ef, fel y cadwom had o'n tad.
35 A hwy a roddasant win i'w tad i yfed
y noson honno hefyd: a'r ieuangaf a god-
odd, ac a orweddodd gyd ag ef; ac ni wybu
efe pan orweddodd hi, na phan gyfododd hi.
36 Felly dwy ferched Lot a feichiogwyd
o'u tad.
37 A'r hynaf a esgorodd ar fab, ac a alw- 1897.
odd ei enw ef Moab: efe yw tad y Moab-
iaid hyd heddyw.
38 A'r ieuangaf, hefyd, a esgorodd hithau
ar fab, ac a alwodd ei enw ef Ben-ammi:
efe yw tad meibion Ammon hyd heddyw.

## PEN. XX.

1 *Abraham yn ymdaith yn Gerar,* 2 *yn gwadu* Ion. 11. P.
*ei wraig, ac yn ei cholli hi.* 3 *Ceryddu*
*Abimelech mewn breuddwyd o'i hachos hi.*
9 *Yntau yn ceryddu Abraham,* 14 *yn*
*rhoddi Sarah yn ei hol,* 16 *ac yn ei*
*cheryddu hi,* 17 *ac yn cael ei iachâu trwy*
*weddi Abraham.*

AC Abraham a aeth oddi yno i dir y de- Cylch
hau, ac a gyfanneddodd rhwng [a] Cades 1898.
a Sur, ac a ymdeithiodd yn Gerar. [a] Pen. 16.
2 A dywedodd Abraham am Sarah ei 7, 14.
wraig, [b] Fy chwaer yw hi: ac Abimelech [b] Pen. 12.
brenhin Gerar a anfonodd ac a gymmerth 13.
Sarah.
3 Yna [c] y daeth Duw at Abimelech, nos- [c] Psal. 105.
waith, [d] mewn breuddwyd, ac a ddywedodd 14.
wrtho, Wele dyn marw wyt ti am y wraig a [d] Job 33.
gymmeraist, a hithau yn † berchen gwr. 14, 15.
4 Ond Abimelech ni nesasai atti hi: ac † Heb.
efe a ddywedod, ARGLWYDD, a leddi di *briod i wr.*
genedl gyfiawn hefyd?
5 Oni ddywedodd efe wrthyf fi, Fy
chwaer yw hi? a hithau hefyd ei hun a
ddywedodd, Fy mrawd yw efe: ‡ ym ‡ *yn syml-*
mherffeithrwydd fy nghalon, ac ynglendid *rwydd.*
fy nwylaw, y gwneuthum hyn.
6 Yna y dywedodd Duw wrtho ef,
mewn breuddwyd, Minnau a wn mai ym
mherffeithrwydd dy galon y gwnaethost
hyn; a [e] mi a'th atteliais rhag pechu [f] i'm [e] Pen. 31.
herbyn: am hynny ni adewais i ti gyffwrdd 7. a 35. 5.
â hi. Ex. 34. 24.
1 Sam. 25.
7 Yn awr gan hynny, dod y wraig drach- 26.
efn i'r gwr; o herwydd prophwyd yw efe, [f] Pen. 39. 9.
ac efe a weddïa trosot, a byddi fyw: ond Lef. 6. 2.
oni roddi drachefn, gwybydd y byddi farw Psal. 51. 4
yn ddïau, ti a'r rhai oll ydynt eiddot ti.
8 Yna y cododd Abimelech yn fore, ac a
alwodd am ei holl weision, ac a draethodd
yr holl bethau hyn § wrthynt hwy: a'r § Heb. *yn*
gwŷr a ofnasant yn ddirfawr. *eu clustiau*
9 Galwodd Abimelech, hefyd, am Abra- *hwy.*
ham, a dywedodd wrtho, Beth a wnaethost
i ni? a pheth a bechais i'th erbyn, pan
[g] ddygyt bechod *mor* fawr arnaf fi, ac ar fy [g] Pen. 26.
nheyrnas? gwnaethost â mi weithredoedd 10.
ni ddylesid eu gwneuthur.
10 Abimelech, hefyd, a ddywedodd wrth
Abraham, Beth a welaist, pan wnaethost y
peth hyn?
11 A dywedodd Abraham, Am ddywedyd
o honof fi, Yn ddïau nid *oes* ofn Duw yn
y lle hwn: a hwy a'm lladdant i o achos fy
ngwraig.
12 A hefyd yn wir fy chwaer *yw* hi:
merch fy nhad yw hi, ond nid merch fy
mam; ac y mae hi yn wraig i mi.
13 Ond pan barodd Duw i mi grwydro
o dŷ fy nhad, yna y dywedais wrthi hi,
Dyma dy garedigrwydd yr hwn a wnai

â mi ym mhob lle y delom iddo; [h] dywed
am danaf fi, Fy mrawd yw efe.
[i] Pen. 12. 16. 14 Yna [i] y cymmerodd Abimelech ddefaid, a gwartheg, a gweision, a morwynion,
ac a'u rhoddes i Abraham: rhoddes hefyd
iddo ef Sarah ei wraig drachefn.
15 A dywedodd Abimelech, Wele fy
ngwlad ger dy fron di, trig lle y byddo da
yn dy olwg.
16 Ac wrth Sarah y dywedodd, Wele
rhoddais i'th frawd fil o *ddarnau* arian: wele
ef yn orchudd llygaid it', i'r rhai oll *sydd* gyd
â thi, a chyd â phawb *eraill*: fel hyn y
ceryddwyd hi.
17 ¶ Yna Abraham a weddïodd ar Dduw:
a Duw a iachaodd Abimelech, a'i wraig, a'i
forwynion; a hwy a blantasant.
18 O herwydd yr Arglwydd gan gau
a gauasai ar bob croth yn nhŷ Abimelech, o
achos Sarah gwraig Abraham.

## PEN. XXI.

Ion. 12. B. 1 *Genedigaeth Isaac, 4 a'i enwaediad. 6 Llawenydd Sarah. 9 Bwrw Hagar ac Ismael allan. 15 Hagar mewn cyfyngdra. 17 Yr angel yn ei chysuro hi. 22 Cyngrair rhwng Abimelech ac Abraham yn Beer-seba.*

A'R Arglwydd a ymwelodd â Sarah
fel y dywedasai, a gwnaeth yr Ar-
[a] Pen. 17. 19. a 18. 10, 14. glwydd i Sarah [a] fel y llefarasai.
2 O herwydd Sarah [b] a feichiogodd, ac a
ymddûg i Abraham fab yn ei henaint, ar yr
[b] Act. 7. 8. Gal. 4. 22. Heb. 11. 11. amser nodedig y dywedasai Duw wrtho ef.
3 Ac Abraham a alwodd enw ei fab a
anesid iddo (yr hwn a ymddygasai Sarah
[c] Pen. 17. 19. iddo ef) [c] Isaac.
4 Ac Abraham a enwaedodd ar Isaac ei
[d] Pen. 17. 10, 12. fab, yn wyth niwrnod oed; [d] fel y gorchy-
mynasai Duw iddo ef.
Cylch 1897. 5 Ac [e] Abraham *oedd* fab can mlwydd,
pan anwyd iddo ef Isaac ei fab.
[e] Pen. 17. 1, 17. 6 ¶ A Sarah a ddywedodd, [f] Gwnaeth
Duw i mi chwerthin; pob un a glywo a
[f] Es. 54. 1. a 66. 10. Gal. 1. 27. chwardd gyd â mi.
7 Hi a ddywedodd hefyd, Pwy a ddywed-
asai i Abraham y rhoisai Sarah sugn i blant?
canys mi a esgorais ar fab yn ei henaint ef.
8 A'r bachgen a gynnyddodd, ac a ddi-
ddyfnwyd: ac Abraham a wnaeth wledd
fawr ar y dydd y diddyfnwyd Isaac.
9 ¶ A Sarah a welodd fab Agar yr
Aiphtes, yr hwn a ddygasai hi i Abraham,
[g] Gal. 4. 29. [g] yn gwatwar.
Cylch 1892. 10 A hi a ddywedod wrth Abraham,
[h] Bwrw allan y gaeth-forwyn hon a'i mab;
[h] Gal. 4. 30. Edr. Pen. 25. 6. a 36. 6, 7. o herwydd ni chaiff mab y gaethes hon gyd-
etifeddu â'm mab i Isaac.
11 A'r peth hyn fu ddrwg iawn yngolwg
Abraham, er mwyn ei fab.
12 ¶ A Duw a ddywedodd wrth Abra-
ham, Na fydded drwg yn dy olwg am y
llangc, nac am dy gaeth-forwyn; yr hyn oll
a ddywedodd Sarah wrthyt, gwrando ar ei
[i] Rhuf. 9. 7. Heb. 11. 18. llais: o herwydd [i] yn Isaac y gelwir i ti had.
13 Ac am fab y forwyn gaeth hefyd, mi
[k] Pen. 16. 10. a 17. 20. Ad. 18. a'i gwnaf ef [k] yn genhedlaeth, o herwydd
dy had di ydyw ef.
Cylch 1897. 14 Yna y cododd Abraham yn fore, ac a
gymmerodd fara, a chostrel o ddwfr, ac a'i
rhoddes at Agar, gan osod ar ei hysgwydd
hi *hynny*, a'r bachgen hefyd, ac efe a'i go-
llyngodd hi ymaith: a hi a aeth, ac a grwy-
drodd yn anialwch Beer-seba.
15 A darfu y dwfr yn y gostrel: a hi a
fwriodd y bachgen dan un o'r gwŷdd.
16 A hi a aeth, ac a eisteddodd ei hunan
ym mhell ar *ei* gyfer, megis ergyd bwa: canys
dywedasai, Ni allaf fi edrych ar y bachgen
yn marw. Felly hi a eisteddodd ar *ei* gyfer,
ac a ddyrchafodd ei llef, ac a wylodd.
17 A Duw a wrandawodd ar lais y llangc;
ac angel Duw a alwodd ar Agar o'r nefoedd,
ac a ddywedodd wrthi, Beth *a ddarfu* i ti,
Agar? nac ofna, o herwydd Duw a wran-
dawodd ar lais y llangc lle y mae efe.
18 Cyfod, cymmer y llangc, ac ymafael
ynddo â'th law; oblegid [l] myfi a'i gwnaf ef [l] Ad. 13.
yn genhedlaeth fawr.
19 A [m] Duw a agorodd ei llygaid hi, a hi [m] Num. 22. 31.
a ganfu bydew dwfr; a hi a aeth, ac a
lanwodd y gostrel *o'r* dwfr, ac a ddiododd Edr. 2 Br. 6. 17, 18, 20.
y llangc.
20 Ac yr oedd Duw gyd â'r llangc; ac Luc 24. 16, 31.
efe a gynnyddodd, ac a drigodd yn yr an-
ialwch, ac a aeth yn berchen bwa.
21 Ac yn anialwch Paran y trigodd efe;
a'i fam a gymmerodd iddo ef wraig o wlad
yr Aipht.
22 ¶ Ac yn yr amser hwnnw, [n] Abimelech, [n] Pen. 20. 2.
a Phichol tywysog ei lu ef, a ymddiddanasant
ag Abraham, gan ddywedyd, Duw *sydd* gyd
â thi yn yr hyn oll yr ydwyt yn ei wneuthur.
23 Yn awr gan hynny, twng wrthyf fi
yma i Dduw, na † fyddi anffyddlon i mi, † Heb. ddyweddi gelwyddd wrthyf.
nac i'm mab, nac i'm hwyr: yn ol y dru-
garedd a wneuthum â thi y gwnai di â min-
nau, ac â'r wlad yr ymdeithiaist ynddi.
24 Ac Abraham a ddywedodd, Mi a
dyngaf.
25 Ac Abraham a geryddodd Abimelech,
o achos y pydew dwfr [o] a ddygasai gweision [o] Edr. Pen. 26. 15, 18, 20, 21, 22.
Abimelech trwy drais.
26 Ac Abimelech a ddywedodd, Ni's gwy-
bum i pwy a wnaeth y peth hyn: tithau
hefyd ni fynegaist i mi, a minnau ni chlyw-
ais *hynny* hyd heddyw.
27 Yna y cymmerodd Abraham ddefaid
a gwartheg, ac a'u rhoddes i Abimelech; a
hwy a wnaethant gyngrair ill dau.
28 Ac Abraham a osododd saith o hes-
pinod *o'r* praidd wrthynt eu hunain.
29 Yna y dywedodd Abimelech wrth Abra-
ham, Beth *a wna* 'r saith hespin hyn a osod-
aist wrthynt eu hunain?
30 Ac yntau a ddywedodd, Canys ti a
gymmeri 'r saith hespin o'm llaw, i fod yn
dystiolaeth mai myfi a gloddiais y pydew
hwn.
31 Am hynny efe a alwodd enw 'r lle
hwnnw ‡ Beer-seba: oblegid yno y tyng- ‡ Sef, ffynnon y llw.
asant ill dau.
32 Felly y gwnaethant gyngrair yn Beer- Cylch 1891.
seba: a chyfododd Abimelech, a Phichol ty-
wysog ei lu ef, ac a ddychwelasant i dir y
Philistiaid.
33 ¶ Ac yntau a blannodd § goed yn § llwyn.
Beer-seba, ac a alwodd yno ar enw 'r Ar-
glwydd Dduw tragywyddol.
34 Ac Abraham a ymdeithiodd ddyddiau
lawer yn nhir y Philistiaid.

## PEN. XXII.

1 *Profi Abraham i aberthu ei fab. 3 Yntau yn dangos ei ffydd a'i ufudd-dod. 11 Yr angel yn ei rwystro ef. 13 Newid Isaac am hwrdd. 14 Galw 'r lle Jehofah-jire. 15 Bendithio Abraham drachefn. 20 Cenhedlaeth Nachor hyd Rebeccah.* Sul 1. o'r Grawys, P. Gwener y croglith, b. w. 20. B. Ion. 12. P.

AC wedi y pethau hyn y bu i Dduw 1872.
[a] brofi Abraham, a dywedyd wrtho, [a] Heb. 11. 17.
Abraham. Yntau a ddywedodd, Wele fi.
2 Yna y dywedodd DUW, Cymmer yr

awr hon dy fab, sef dy unig *fab* Isaac yr
b 2 Chron. 3. 1. hwn a hoffäist, a dos rhagot i dir [b] Moriah,
ac offrymma ef yno yn boeth-offrwm ar
un o'r mynyddoedd yr hwn a ddywedwyf
wrthyt.
3 ¶ Ac Abraham a fore-gododd, ac a
gyfrwyodd ei asyn, ac a gymmerodd ei
ddau langc gyd ag ef, ac Isaac ei fab; ac a
holltodd goed y poeth-offrwm, ac a gyfod-
odd, ac a aeth i'r lle a ddywedasai Duw
wrtho.
4 Ac ar y trydydd dydd y dyrchafodd
Abraham ei lygaid, ac efe a welai'r lle o
hirbell.
5 Ac Abraham a ddywedodd wrth ei
langciau, Arhoswch chwi yma gyd â'r
asyn; a mi a'r llangc a awn hyd accw, ac
a addolwn, ac a ddychwelwn attoch.
6 Yna y cymmerth Abraham goed y
poeth-offrwm, ac a'i gosododd ar Isaac ei
fab; ac a gymmerodd y tân, a'r gyllell yn ei
law ei hun: a hwy a aethant ill dau ynghŷd.
7 A llefarodd Isaac wrth Abraham ei
dad, ac a ddywedodd, Fy nhad. Yntau a
ddywedodd, Wele fi, fy mab. Yna eb efe,
† mynn. Wele dân a choed; ond mae † oen y poeth-
offrwm?
8 Ac Abraham a ddywedodd, Fy mab,
Duw a edrych iddo ei hun am oen y poeth-
offrwm. Felly 'r aethant ill dau ynghŷd.
9 Ac a ddaethant i'r lle a ddywedasai
Duw wrtho ef; ac yno 'r adeiladodd Abra-
ham allor, ac a osododd y coed mewn trefn,
c Ia. 2. 21. ac a rwymodd Isaac ei fab, ac [c] a'i gosododd
ef ar yr allor, ar uchaf y coed.
10 Ac Abraham a estynodd ei law, ac a
gymmerodd y gyllell i ladd ei fab;
11 Ac angel yr ARGLWYDD a alwodd arno
ef o'r nefoedd, ac a ddywedodd, Abraham,
Abraham. Yntau a ddywedodd, Wele fi.
12 Ac efe a ddywedodd, Na ddod dy law
ar y llangc, ac na wna ddim iddo: o he-
rwydd gwn weithian i ti ofni Duw, gan nad
atteliaist dy fab, dy unig *fab*, oddi wrthyf fi.
13 Yna y dyrchafodd Abraham ei lygaid,
ac a edrychodd; ac wele o'i ol *ef* hwrdd,
wedi ei ddal erbyn ei gyrn mewn dyrysni: ac
Abraham a aeth ac a gymmerth yr hwrdd,
ac a'i hoffrymmodd yn boeth-offrwm yn lle
ei fab.
14 Ac Abraham a alwodd enw y lle
‡ Sef, Yr Arglwydd a edrych, neu, a ddarpara. hwnnw ‡ JEHOFAH-jire; fel y dywedir
heddyw, Ym mynydd yr ARGLWYDD y
gwelir.
15 ¶ Ac angel yr ARGLWYDD a alwodd
ar Abraham yr ail waith o'r nefoedd;
16 Ac a ddywedodd, [d] I mi fy hun y
d Psal. 105. 9. Eccl. 44. 21. Luc 1. 73. Heb. 6. 13. tyngais, medd yr ARGLWYDD, o herwydd
gwneuthur o honot y peth hyn, ac nad at-
teliaist dy fab, dy unig *fab*:
17 Mai gan fendithio y'th fendithiaf, a
e Pen. 13. 16. [e] chan amlhâu 'r amlhâf dy had, fel ser
y nefoedd, ac fel y tywod yr hwn *sydd* ar
§ fin. § lann y môr; [f] a'th had a feddianna borth
f Pen. 24. 60. ei elynion:
18 Ac [g] yn dy had di y bendithir holl
g Pen. 12. 3. a 18. 18. a 26. 4. Eccl. 44. 22. Act. 3. 25. Gal. 3. 8, 16, 18. genhedloedd y ddaear: o achos gwrando o
honot ar fy llais i.
19 Yna Abraham a ddychwelodd at ei
langciau; a hwy a godasant, ac a aethant
ynghŷd i Beer-seba: ac Abraham a drigodd
yn Beer-seba.
20 ¶ Darfu hefyd, wedi y pethau hyn,
fynegi i Abraham, gan ddywedyd, Wele, dug
h Pen. 11. 29. [h] Milcah hithau hefyd blant i Nachor dy
frawd;
21 Hus ei gyntaf-anedig, a Buz ei frawd;
Cemuel hefyd tad Aram,
22 A Chesed, a Hazo, a Phildas, ac Idlaph,
a Bethuel.
23 A [i] Bethuel a genhedlodd Rebeccah: yr i Pen. 24.
wyth hyn a blantodd Milcah i Nachor brawd 15.
Abraham.
24 Ei ordderchwraig hefyd, a'i henw
Reumah, a esgorodd hithau hefyd ar Tebah,
a Gaham, a Thahas, a Maachah.

## PEN. XXIII.

1 *Oedran a marwolaeth Sarah.* 3 *Prynu* Ion. 13. B.
*Machpelah,* 19 *lle y claddwyd Sarah.*

AC oes Sarah ydoedd gan mlynedd a saith 1860.
mlynedd ar hugain: *dyma* flynydd-
oedd oes Sarah.
2 A Sarah a fu farw [a] ynghaer-Arba; a Jos. 14. 15.
honno *yw* Hebron yn nhir Canaan: ac Barn. 1.
Abraham a aeth i alaru am Sarah, ac i wylo- 10.
fain *am dani* hi.
3 ¶ Yna y cyfododd Abraham i fynu oddi
ger bron ei *gorph* marw, ac a lefarodd wrth
feibion Heth, gan ddywedyd,
4 [b] Dieithr ac alltud ydwyf fi gyd â chwi: b Heb. 11.
rhoddwch i mi feddiant beddrod gyd â chwi, 13.
fel y claddwyf fy marw allan o'm golwg.
5 A meibion Heth a attebasant Abraham,
gan ddywedyd wrtho,
6 Clyw ni, fy arglwydd: tywysog † Duw † cadarn.
*wyt* ti yn ein plith: cladd dy farw yn *ay*
ddewis o'n beddau ni: ni rwystr neb o
honom ni ei fedd i ti i gladdu dy farw.
7 Yna y cyfododd Abraham, ac a ym-
grymmodd i bobl y tir, *sef* i feibion Heth:
8 Ac a ymddiddanodd â hwynt, gan
ddywedyd, Os yw eich ewyllys i mi gael
claddu fy marw allan o'm golwg, gwran-
dewch fi, ac eiriolwch trosof fi ar Ephron
fab Sohar;
9 Ar roddi o hono ef i mi yr ogof Mach-
pelah, yr hon *sydd* eiddo ef, ac *sydd* yngh wrr
ei faes: er ei llawn *werth* o arian rhodded
hi i mi, yn feddiant beddrod yn eich plith
chwi.
10 Ac Ephron oedd yn aros ym mysg
meibion Heth: ac Ephron yr Hethiad a at-
tebodd Abraham, lle y clywodd meibion
Heth, yngŵydd pawb a ddeuent i borth ei
ddinas ef, gan ddywedyd,
11 [c] Nag ê, fy arglwydd, clyw fi: rhodd- c Edrych
ais y maes i ti, a'r ogof *sydd* ynddo, i ti y 2 Sam. 24. 21—24.
rhoddais hi; yngŵydd meibion fy mhobl y
rhoddais hi i ti: cladd di dy farw.
12 Ac Abraham a ymgrymmodd o flaen
pobl y tir.
13 Ac efe a lefarodd wrth Ephron lle y
clybu pobl y tir; gan ddywedyd, Etto, os
tydi *a'i rhoddi*, attolwg gwrando fi: rhoddaf
werth y maes; cymmer gennyf, a mi a
gladdaf fy marw yno.
14 Ac Ephron a attebodd Abraham, gan
ddywedyd wrtho,
15 Gwrando fi, fy arglwydd; y tir *a dâl*
bedwar can [d] sicl o arian: beth yw hynny d Exod.
rhyngof fi a thithau? am hynny cladd dy 30. 15. Ezec. 45.
farw. 12.
16 Felly Abraham a wrandawodd ar E-
phron: a phwysodd Abraham i Ephron yr
arian, a ddywedasai efe lle y clybu meibion
Heth; pedwar can sicl o *arian* cymmeradwy
ym mhlith marchnadwyr.
17 ¶ Felly y sicrhawyd [e] maes Ephron, yr e Pen. 25.
hwn *oedd* ym Machpelah, yr hon *oedd* o flaen 9. a 50. 13. Act. 7. 16.
Mamre, y maes a'r ogof *oedd* ynddo, a phob

pren a'r *a oedd* yn y maes, ac yn ei holl
derfynau o amgylch,
18 Yn feddiant i Abraham, yngolwg meib-
ion Heth, yngŵydd pawb a ddelynt i borth
ei ddinas ef.
19 Ac wedi hynny Abraham a gladdodd
Sarah ei wraig yn ogof maes Machpelah, o
flaen Mamre; honno *yw* Hebron, yn nhir
Canaan.
20 A sicrhawyd y maes, a'r ogof yr hon
oedd ynddo, i Abraham, yn feddiant bedd-
rod, oddi wrth feibion Heth.

## PEN. XXIV.

Ieu. 13. F. 1 *Abraham yn peri i'w was dyngu.* 10 *Taith
y gwas:* 12. *Ei weddi:* 14 *Ei arwydd.* 15
*Rebeccah yn ei gyfarfod ef,* 18 *yn cwblhâu
ei arwydd ef,* 22 *yn derbyn tlysau,* 23 *yn
dangos ei chenedl,* 25 *ac yn ei wahodd ef
adref.* 26 *Y gwas yn bendithio Duw.* 29
*Laban yn ei groesawu ef.* 34 *Y gwas yn
traethu ei neges.* 50 *Laban a Bethuel yn
foddlawn.* 58 *Rebeccah yn cyd-synio i
fyned.* 62 *Isaac yn cyfarfod â hi.*

1857. AC Abraham oedd hen, wedi myned
* Heb. *mewn dyddiau.* † yn oedrannus; a'r ARGLWYDD a
fendithiasai Abraham ym mhob dim.
2 A dywedodd Abraham wrth ei was
a Pen. 15. 2. hynaf *yn* ei dŷ, a yr hwn oedd yn llywo-
draethu ar yr hyn oll a'r *a oedd* ganddo,
b Pen. 47. 29. 1 Chron. 29. 24. b Gosod, attolwg, dy law dan fy morddwyd:
3 A mi a baraf i ti dyngu i ARGLWYDD
DDUW 'r nefoedd, a DUW 'r ddaear, c na
c Pen. 26. 35. a 27. 46. a 28. 2. Exod. 34. 16. Deut. 7. 3. chymmerech wraig i'm mab i o ferched y
Canaaneaid, y rhai 'r ydwyf yn trigo yn eu
mysg:
4 Ond i'm gwlad i yr ai, ac at fy nghenedl
i yr ai di, ac a gymmeri wraig i'm mab Isaac.
5 A'r gwas a ddywedodd wrtho ef, Ond
odid ni fyn y wraig ddyfod ar fy ol i i'r
wlad hon: gan ddychwelyd a ddychwelaf
dy fab di i'r tir y daethost allan o hono?
6 A dywedodd Abraham wrtho, Gwylia
arnat rhag i ti ddychwelyd fy mab i yno.
d Pen. 12. 1, 7. 7 ¶ ARGLWYDD DDUW 'r nefoedd, d yr
hwn a'm cymmerodd i o dŷ fy nhad, ac
o wlad fy nghenedl, yr hwn hefyd a ym-
ddiddanodd â mi, ac a dyngodd wrthyf, gan
e Pen. 12. 7. a 13. 15. a 15. 18. a 26. 4. Exod. 32. 13. Deut. 34. 4. Act. 7. 5. ddywedyd, e I'th had di y rhoddaf y tir
hwn; efe a enfyn ei angel o'th flaen di, a
thi a gymmeri wraig i'm mab oddi yno.
8 Ac os y wraig ni fyn ddyfod ar dy ol
di, yna glân fyddi oddi wrth fy llw hwn:
yn unig na ddychwel di fy mab i yno.
9 A'r gwas a osododd ei law dan forddwyd
Abraham ei feistr, ac a dyngodd iddo am
y peth hyn.
10 ¶ A chymmerodd y gwas ddeg camel,
o gamelod ei feistr, ac a aeth ymaith:
‡ Neu, *a.* († canys holl ddâ ei feistr *oedd* dan ei law
ef) ac efe a gododd, ac a aeth i Mesopo-
f Pen. 27. 43. tamia, i f ddinas Nachor.
11 Ac efe a wnaeth i'r camelod orwedd
o'r tu allan i'r ddinas, wrth bydew dwfr ar
bryd-nhawn, ynghylch yr amser y byddai
§ Neu, *a dynnai ddwfr yn dyfod allan.* *merched* § yn dyfod allan i dynnu dwfr.
12 Ac efe a ddywedodd, O ARGLWYDD
DDUW fy meistr Abraham, attolwg, par i
mi lwyddiant heddyw; a gwna drugaredd
â'm meistr Abraham.
g Ad. 43. 13 g Wele fi yn sefyll wrth y ffynnon
h Pen. 29. 9. Exod. 12. 16. ddwfr, a h merched gwŷr y ddinas yn dyfod
allan i dynnu dwfr:
14 A bydded, mai 'r llangces y dywedwyf
wrthi, Gogwydda, attolwg, dy 'sten, fel yr
yfwyf; os dywaid hi, Yf, a mi a ddiodaf dy
gamelod di hefyd; honno a ddarperaist i'th i Edrych Barn 6. 17, 37. 1 Sam. 6. 7. a 14. 8. a 20. 7. 1 Mac. 5. 40.
was Isaac: ac i wrth hyn y caf wybod
wneuthur o honot ti drugaredd â'm meistr.
15 ¶ A bu, cyn darfod iddo lefaru, wele
Rebeccah yn dyfod allan (yr hon a anesid i
Bethuel fab k Milcah, gwraig Nachor, brawd
Abraham) a'i hystên ar ei hysgwydd. k Pen. 11. 29. a 22. 23.
16 A'r llangces *oedd* dêg odiaeth yr olwg,
yn forwyn, a heb i wr ei hadnabod; a hi a
aeth i wared i'r ffynnon, ac a lanwodd ei
'sten, ac a ddaeth i fynu.
17 A'r gwas a redodd i'w chyfarfod, ac a
ddywedodd, Attolwg, gad i mi yfed ychydig
ddwfr o'th ystên.
18 A hi a ddywedodd, Yf, fy meistr: a
hi a frysiodd, ac a ddisgynodd ei 'sten ar ei
llaw, ac a'i diododd ef.
19 A phan ddarfu iddi ei ddïodi ef, hi a
ddywedodd, Tynnaf hefyd i'th gamelod,
hyd oni ddarffo iddynt yfed.
20 A hi a frysiodd, ac a dywalltodd ei 'sten
i'r cafn, ac a redodd eilwaith i'r pydew i
dynnu, ac a dynnodd i'w holl gamelod ef.
21 A'r gwr yn synnu o'i phlegid hi, a
dawodd, i wybod a lwyddasai 'r ARGLWYDD
ei daith ef, ai nad do.
22 A bu pan ddarfu i'r camelod yfed,
gymmeryd o'r gwr ‖ glust-dlws aur, yn ‖ *tal-dlws.*
hanner sicl ei bwys; a dwy freichled i'w
dwylaw hi, yn ddeg *sicl* o aur eu pwys.
23 Ac efe a ddywedodd, Merch pwy
*ydwyt* ti? mynega i mi, attolwg: a oes lle i
ni i lettya *yn* nhŷ dy dad?
24 A hi a ddywedodd wrtho, l Myfi l Pen. 22. 23.
*ydwyf* ferch i Bethuel fab Milcah, yr hwn
a ymddûg hi i Nachor.
25 A hi a ddywedodd wrtho ef, *Y mae*
gwellt ac ebran ddigon gennym ni, *a* lle i
lettya.
26 A'r gwr m a ymgrymmodd, ac a m Ad. 52. Ex. 4. 31.
addolodd yr ARGLWYDD,
27 Ac a ddywedodd, Bendigedig fyddo
ARGLWYDD DDUW fy meistr Abraham, yr
hwn ni adawodd fy meistr heb ei drugaredd,
a'i ffyddlondeb: yr *ydwyf* fi ar y ffordd;
dug yr ARGLWYDD fi i dŷ brodyr fy meistr.
28 A'r llangces a redodd, ac a fynegodd
yn nhŷ ei mam y pethau hyn.
29 ¶ Ac i Rebeccah yr *oedd* brawd, a'i
enw n Laban: a Laban a redodd at y gwr n Pen. 29. 5.
allan i'r ffynnon.
30 A phan welodd efe 'r clust-dlws, a'r
breichledau am ddwylaw ei chwaer, a phan
glywodd efe eiriau Rebeccah ei chwaer yn
dywedyd, Fel hyn y dywedodd y gwr wrthyf
fi; yna efe a aeth at y gwr; ac wele efe yn
sefyll gyd â'r camelod wrth y ffynnon.
31 Ac efe a ddywedodd, Tyred i mewn,
ti fendigedig yr ARGLWYDD; pa ham y sefi
di allan? canys mi a barottoais y tŷ, a lle
i'r camelod.
32 ¶ A'r gwr a aeth i'r tŷ: ac yntau a
ryddhaodd y camelod, ac a roddodd wellt
ac ebran i'r camelod; a dwfr i olchi ei draed
ef, a thraed y dynion *oedd* gyd ag ef.
33 A gosodwyd *bwyd* o'i flaen ef i fwytta;
ac efe a ddywedodd, Ni fwyttâf hyd oni
thraethwyf fy negesau. A dywedodd yntau,
Traetha.
34 Ac efe a ddywedodd, Gwas Abraham
*ydwyf* fi.
35 A'r ARGLWYDD a fendithiodd fy
meistr yn ddirfawr, ac efe a gynnyddodd:
canys rhoddodd iddo ddefaid, a gwartheg,
ac arian, ac aur, a gweision, a morwynion,
a chamelod, ac asynod.

36 Sarah hefyd gwraig fy meistr a ym-
ddûg fab i'm meistr, wedi ei heneiddio hi;
[o] Pen. 25. 5. ac efe a roddodd [o] i hwnnw yr hyn oll *oedd*
ganddo.
37 A'm meistr a'm tyngodd i, gan ddy-
wedyd, Na chymmer wraig i'm mab i o
ferched y Canaaneaid, y rhai yr ydwyf yn
trigo yn eu tir.
38 Ond ti a ai i dŷ fy nhad, ac at fy
nhylwyth, ac a gymmeri wraig i'm mab.
39 A dywedais wrth fy meistr, Fe allai na
ddaw 'r wraig ar fy ol i.
40 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Yr AR-
[p] Pen. 17. 1. GLWYDD [p] yr hwn y rhodiais ger ei fron, a
enfyn ei angel gyd â thi, ac a lwydda dy
daith di; a thi a gymmeri wraig i'm mab i
o'm tylwyth, ac o dŷ fy nhad.
41 Yna y byddi rŷdd oddi wrth fy llw,
os ti a ddaw at fy nhylwyth; ac oni roddant
i ti, yna y byddi rŷdd oddi wrth fy llw.
42 A heddyw y daethum at y ffynnon, ac
a ddywedais, ARGLWYDD DDUW fy meistr
Abraham, os ti sydd yr awr hon yn llwyddo
fy nhaith, yr hon yr wyf fi yn myned arni:
[q] Ad. 13. 43 Wele fi [q] yn sefyll wrth y ffynnon
ddwfr; a'r forwyn a ddelo allan i dynnu, ac
y dywedwyf wrthi, Dod i mi, attolwg,
ychydig ddwfr i'w yfed o'th ystên;
44 Ac a ddywedo wrthyf innau, Yf di, a
thynnaf hefyd i'th gamelod: bydded honno
y wraig a ddarparodd yr ARGLWYDD i fab
fy meistr.
45 A chyn darfod i mi ddywedyd yn fy
nghalon, wele Rebeccah yn dyfod allan, a'i
hystên ar ei hysgwydd; a hi a aeth i wared
i'r ffynnon, ac a dynnodd: yna y dywedais
wrthi, Dioda fi, attolwg.
46 Hithau a frysiodd, ac a ddisgynnodd
ei 'sten oddi arni, ac a ddywedodd, Yf; a
mi a ddyfrhâf dy gamelod hefyd. Felly yr
yfais; a hi ddyfrhaodd y camelod hefyd.
47 A mi a ofynais iddi, ac a ddywedais,
Merch pwy *ydwyt* ti? Hithau a ddywed-
odd, Merch Bethuel mab Nachor, yr hwn a
ymddûg Milcah iddo ef. Yna y gosodais y
clust-dlws wrth ei hwyneb, a'r breichledau
am ei dwylaw hi:
48 Ac a ymgrymmais, ac a addolais yr
ARGLWYDD, ac a fendithiais ARGLWYDD
DDUW fy meistr Abraham, yr hwn a'm har-
weiniodd ar hŷd yr iawn ffordd, i gym-
meryd merch brawd fy meistr i'w fab ef.
49 Ac yn awr od ydych chwi yn gwneu-
thur trugaredd a ffyddlondeb â'm meistr,
mynegwch i mi: ac onid ê, mynegwch i mi;
fel y trowyf ar y llaw ddeheu, neu ar y
llaw aswy.
50 Yna'r attebodd Laban a Bethuel, ac a
ddywedasant, Oddi wrth yr ARGLWYDD y
daeth y peth hyn: ni allwn ddywedyd
wrthyt ddrwg, na da.
51 Wele Rebeccah o'th flaen; cymmer *hi*,
a dos, a bydded wraig i fab dy feistr, fel y
llefarodd yr ARGLWYDD.
52 A phan glybu gwas Abraham eu
[r] Ad. 26. geiriau hwynt, yna efe [r] a ymgrymmodd
hyd lawr i'r ARGLWYDD.
† Heb. *llestri.* 53 A thynnodd y gwas allan † dlysau
arian, a thlysau aur, a gwisgoedd, ac a'u
rhoddodd i Rebeccah: rhoddodd hefyd
bethau gwerthfawr i'w brawd hi, ac i'w
mam.
54 A hwy a fwyttasant ac a yfasant, efe
a'r dynion *oedd* gyd ag ef, ac a lettyasant
dros nos: a chodasant yn fore; ac efe a
[s] Adn. 56, 59. ddywedodd, [s] Gollyngwch fi at fy meistr.

55 Yna y dywedodd ei brawd a'i mam,
Triged y llangces gyd â ni ‡ ddeng niwrnod ‡ *flwyddyn gyfan, neu, ddeg o fisoedd.*
o'r lleiaf; wedi hynny hi a gaiff fyned.
56 Yntau a ddywedodd wrthynt, Na
rwystrwch fi, gan i'r ARGLWYDD lwyddo
fy nhaith; gollyngwch fi, fel yr elwyf at fy
meistr.
57 Yna y dywedasant, Galwn ar y llang-
ces, a gofynwn iddi hi.
58 A hwy a alwasant ar Rebeccah, a dy-
wedasant wrthi, A ai di gyd â'r gwr hwn?
A hi a ddywedodd, Af.
59 A hwy a ollyngasant Rebeccah eu
chwaer, [t] a'i mammaeth, a gwas Abraham, [t] Pen. 35. 8.
a'i ddynion;
60 Ac a fendithiasant Rebeccah, ac a ddy-
wedasant wrthi, Ein chwaer wyt, bydd di
fil fyrddiwn; ac [u] etifedded dy had borth [u] Pen. 22. 17.
ei gaseion.
61 ¶ Yna y cododd Rebeccah, a'i llang-
cesau, a farchogasant ar y camelod, ac a
aethant ar ol y gwr; a'r gwas a gymmerodd
Rebeccah, ac a aeth ymaith.
62 Ac Isaac oedd yn dyfod o ffordd [x] py- [x] Pen. 16. 14. a 25. 11.
dew Lahai-roi; ac efe oedd yn trigo yn
nhir y dehau.
63 Ac Isaac a aeth allan i § fyfyrio yn y § *weddio.*
maes, yn min yr hwyr; ac a ddyrchafodd
ei lygaid, ac a edrychodd, ac wele y camelod
yn dyfod.
64 Rebeccah hefyd a ddyrchafodd ei
llygaid; a phan welodd hi Isaac, [y] hi a ddis- [y] Jos. 15. 18.
gynodd oddi ar y camel.
65 Canys hi a ddywedasai wrth y gwas,
Pwy *yw* 'r gwr hwn sydd yn rhodio yn y
maes i'n cyfarfod ni? A'r gwas a ddywed-
asai, Fy meistr *yw* efe: a hi a gymmerth
orchudd, ac a ymwisgodd.
66 A'r gwas a fynegodd i Isaac yr hyn
oll a wnaethai efe.
67 Ac Isaac a'i dug hi i mewn i babell 1857.
Sarah ei fam; ac efe a gymmerth Rebeccah,
a hi a aeth yn wraig iddo, ac efe a'i hoffodd
hi: ac Isaac a ymgysurodd ar ol ei fam.

## PEN. XXV.

1 *Plant Abraham o Ceturah.* 5 *Rhannu ei* Ion. 14. B.
*dda ef.* 7 *Ei oedran a'i farwolaeth.* 9 *Ei
gladdedigaeth.* 12 *Cenhedlaethau Ismael.*
17 *Ei oedran a'i farwolaeth.* 21 *Isaac yn
gweddio dros Rebeccah, yr hon oedd yn
amhlantadwy.* 22 *Y plant yn ymwthio
yn ei chroth hi.* 24 *Genedigaeth Esau a
Jacob.* 27 *Y rhagor oedd rhyngthynt hwy.*
29 *Esau yn gwerthu braint ei enedigaeth.*

AC Abraham a gymmerodd eilwaith Cylch
wraig, a'i henw Ceturah. 1853.
2 A [a] hi a esgorodd iddo ef Zimran, a [a] 1 Chron. 1. 32.
Jocsan, a Medan, a Midian, ac Isbac, a
Suah.
3 A Jocsan a genhedlodd Seba, a Dedan:
a meibion Dedan oedd Assurim, a Letusim,
a Leummim.
4 A meibion Midian *oedd* Ephah, ac
Epher, a Hanoch, ac Abidah, ac Eldaah:
yr holl rai hyn *oedd* feibion Ceturah.
5 ¶ Ac [b] Abraham a roddodd yr hyn oll [b] Pen. 24. 36.
*oedd* ganddo i Isaac.
6 Ac i feibion gordderch-wragedd Abra-
ham y rhoddodd Abraham roddion; ac efe
a'u hanfonodd hwynt oddi wrth Isaac ei
fab, tra yr oedd efe eto yn fyw, i dir y dwyrain, ac efe
etto yn fyw.
7 A dyma ddyddiau blynyddoedd einioes 1822.
Abraham, y rhai y bu efe fyw; can mly-
nedd a phymtheg mlynedd a thrugain.

[e] Pen. 15. 15. a 49. 29. 8 Ac Abraham a drengodd, ac [e] a fu farw
mewn oed teg, yn hen, ac yn gyflawn *o*
*ddyddiau;* ac efe a gasglwyd at ei bobl.
9 Ac Isaac ac Ismael ei feibion a'i claddasant ef yn ogof Machpelah, yn maes
Ephron fab Soar yr Hethiad, yr hwn *sydd*
o flaen Mamre;
[d] Pen. 23. 16. 10 [d] Y maes a brynasai Abraham gan
feibion Heth: yno y claddwyd Abraham,
a Sarah ei wraig.
11 ¶ Ac wedi marw Abraham, bu hefyd
i DDUW fendithio Isaac ei fab ef: ac Isaac
[e] Pen. 16. 14 a 24. 62. a drigodd wrth [e] ffynnon Lahai-roi.
Cylch 1800. 12 ¶ A dyma genhedlaethau Ismael, fab
Abraham, yr hwn a ymddûg Agar yr
Aiphtes, morwyn Sarah, i Abraham.
[f] 1 Chron. 1. 29. 13 A [f] dyma enwau meibion Ismael, erbyn eu henwau, trwy eu cenhedlaethau:
Nebaioth cyntaf-anedig Ismael, a Chedar,
ac Adbeel, a Mibsam,
† Neu, *Hadad.* 14 Misma hefyd, a Dumah, a Massa,
15 † Hadar, a Thema, Jetur, Naphis, a
Chedemah.
16 Dyma hwy meibion Ismael, a dyma
eu henwau hwynt wrth eu trefydd, ac wrth
[g] Pen. 17. 20. eu cestyll; [g] yn ddeuddeg o dywysogion yn
ol eu cenhedloedd.
1773. 17 A dyma flynyddoedd einioes Ismael;
cant mlynedd a dwy ar bymtheg ar hugain
o flynyddoedd: yna y trengodd, ac y bu
[h] 1 Sam. 15. 7 farw, ac y casglwyd ef at ei bobl.
[i] Pen. 16. 12. 18 Preswyliasant hefyd [h] o Hafilah hyd
Sur, yr hon *sydd* o flaen yr Aipht, ffordd yr
‡ Heb. *cwympodd.* ai di i Assyria: ac [i] yngwydd ei holl frodyr
y ‡ bu efe farw.
19 ¶ A dyma genhedlaethau Isaac fab
[k] Mat. 1. 2. Abraham: [k] Abraham a genhedlodd Isaac.
1857. 20 Ac Isaac oedd fab deugain mlwydd
pan gymmerodd efe Rebeccah ferch Bethuel
y Syriad, o Mesopotamia, chwaer Laban y
Syriad, yn wraig iddo.
1838. 21 Ac Isaac a weddïodd ar yr ARGLWYDD
dros ei wraig, am ei bod hi 'n ammhlantadwy: a'r ARGLWYDD a wrandawodd arno
[l] Rhuf. 9. 10. ef, a [l] Rebeccah ei wraig ef a feichiogodd.
22 A'r plant a ymwthiasant â'u gilydd yn
ei chroth hi: yna y dywedodd hi, Os felly,
beth *y wnaf* fi fel hyn? A hi a aeth i ymofyn
â'r ARGLWYDD.
23 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrthi
[m] 2 Sam. 8. 14. hi, Dwy genedl *sydd* yn dy groth di, a dau
*fath ar* bobl a wahenir o'th fru di; [m] a'r
[n] Pen. 27. 29. naill bobl fydd cryfach nâ'r llall, [n] a'r hynaf
Mal. 1. 3. Rhuf. 9. 12. a wasanaetha 'r ieuangaf.
24 ¶ A phan gyflawnwyd ei dyddiau hi
i esgor, wele gefelliaid *oedd* yn ei chroth hi.
25 A'r cyntaf a ddaeth allan yn goch
[o] Pen. 27. 11, 16, 23. [o] drosto i gyd fel cochl flewog: a galwasant
ei enw ef Esau.
26 Ac wedi hynny y daeth ei frawd ef
[p] Hos. 12. 3. allan [p] a'i law yn ymaflyd yn sawdl Esau: a
1837. galwyd [q] ei enw ef Jacob. Ac Isaac oedd
[q] Pen. 27. 36. fab trugeinmlwydd pan anwyd hwynt.
27 A'r llangciau a gynnyddasant: ac Esau
oedd wr yn medru hela, *a* gwr o'r maes; a
Jacob *oedd* wr disyml yn cyfanneddu mewn
pebyll.
28 Isaac hefyd oedd hoff ganddo Esau,
am ei fod yn bwytta o'i helwriaeth ef: a
Rebeccah a hoffai Jacob.
Cylch 1805. 29 ¶ A Jacob a ferwodd gawl: yna Esau
a ddaeth o'r maes, ac efe yn ddiffygiol.
§ Heb. *o'r coch, o'r coch yma.* 30 A dywedodd Esau wrth Jacob, Gad i
mi yfed, attolwg, § o'r *cawl* coch yma; o
herwydd diffygiol *wyf* fi: am hynny y
galwyd ei enw ef Edom.
31 A dywedodd Jacob, Gwerth di heddyw i mi dy enedigaeth-fraint.
32 A dywedodd Esau, Wele fi yn myned
i farw, a pha les a wna 'r enedigaeth-fraint
hon i mi?
33 A dywedodd Jacob, Twng i mi heddyw. Ac efe a dyngodd iddo; ac [r] efe a [r] Heb. 12. 16.
werthodd ei enedigaeth-fraint i Jacob.
34 A Jacob a roddes i Esau fara a chawl
ffacbys; ac efe a fwyttaodd, ac a yfodd, ac
a gododd, ac a aeth ymaith: felly y diystyrodd Esau ei enedigaeth-fraint.

## PEN. XXVI.

1 *Isaac o achos newyn yn myned i Gerar.* 2 Ion. 14. P.
*Duw yn ei addysgu ac yn ei fendithio ef.*
7 *Abimelech yn ei geryddu ef am wadu ei*
*wraig.* 12 *Efe yn myned yn gyfoethog:*
18 *Yn cloddio ffynnon Esec, Sitnah, a Rehoboth.* 26 *Abimelech yn gwneuthur cyngrair ag ef yn Beer-seba.* 34 *Gwragedd*
*Esau.* Cylch 1804.

A Bu newyn yn y tir, heb law [a] 'r newyn
cyntaf a fuasai yn nyddiau Abraham: [a] Pen. 12. 10.
ac Isaac a aeth at [b] Abimelech brenhin y [b] Pen. 20. 2.
Philistiaid i Gerar.
2 A'r ARGLWYDD a ymddangosasai iddo
ef, ac a ddywedasai, Na ddos i wared i'r
Aipht: aros yn y wlad a ddywedwyf fi
wrthyt.
3 Ymdeithia yn y wlad hon, a mi a fyddaf gyd â thi, ac a'th fendithiaf: o herwydd
i ti ac i'th had [c] y rhoddaf yr holl wledydd [c] Pen. 13. 15. a 15. 18.
hyn, a mi a gyflawnaf [d] fy llw a dyngais
wrth Abraham dy dad di. [d] Pen. 22. 16.
4 A [e] mi a amlhâf dy had di fel ser y nefoedd, a rhoddaf i'th had di 'r holl wledydd [e] Pen. 15. 5.
hyn: a holl genhedlaethau 'r ddaear a fendithir [f] yn dy had di: [f] Pen. 12. 3. a 22. 18.
5 Am wrando o Abraham ar fy llais i, a
chadw fy nghadwriaeth, fy ngorchymynion,
fy neddfau, a'm cyfreithiau.
6 ¶ Ac Isaac a drigodd yn Gerar.
7 A gwŷr y lle hwnnw a ymofynasant
am ei wraig ef. Ac [g] efe a ddywedodd, Fy [g] Pen. 12. 13. a 20. 2. 13.
chwaer *yw* hi: canys ofnodd ddywedyd,
Fy ngwraig *yw;* rhag *(eb efe)* i ddynion y
lle hwnnw fy lladd i am Rebeccah: canys *yr*
*ydoedd* hi yn dêg yr olwg.
8 A bu gwedi ei fod ef yno ddyddiau
lawer, i Abimelech brenhin y Philistiaid
edrych trwy 'r ffenestr, a chanfod; ac wele
Isaac yn chwarae â Rebeccah ei wraig.
9 Ac Abimelech a alwodd ar Isaac, ac a
ddywedodd, Wele, yn ddiau dy wraig *yw*
hi: a pha ham y dywedaist, Fy chwaer *yw*
hi? Yna y dywedodd Isaac wrtho, am ddywedyd o honof, Rhag fy marw o'i phlegid
hi.
10 A dywedodd Abimelech, Pa ham y
gwnaethost hyn â ni? hawdd y gallasai un
o'r bobl orwedd gyd â'th wraig di; [h] felly [h] Pen. 20. 9.
y dygasit arnom ni bechod.
11 A gorchymynodd Abimelech i'r holl
bobl, gan ddywedyd, Yr hwn a gyffyrddo
â'r gwr hwn, neu â'i wraig, a leddir yn farw.
12 Ac Isaac a hauodd yn y tir hwnnw, ac a
gafodd y flwyddyn honno y can-cymmaint.
A'r ARGLWYDD a'i bendithiodd ef.
13 A'r gwr a gynnyddodd, ac a aeth rhagddo, ac a dyfodd, hyd onid aeth yn fawr
iawn.
14 Ac yr oedd ganddo ef gyfoeth o ddefaid, a chyfoeth o wartheg, a † gweision † Neu, *hwsmonaeth.*
lawer: a'r Philistiaid a gynfigennasant
wrtho ef.

Pen. 21. 30.

15 A'r holl bydewau [i] y rhai a gloddiasai gweision ei dad ef, yn nyddiau Abraham ei dad ef, y Philistiaid a'u cauasant hwy, ac a'u llanwasant â phridd.

16 Ac Abimelech a ddywedodd wrth Isaac, Dos oddi wrthym ni: canys [k] ti a aethost yn gryfach o lawer nâ nyni.

[k] Exod. 1. 9.

17 ¶ Ac Isaac a aeth oddi yno, ac a wersyllodd yn nyffryn Gerar, ac a breswyliodd yno.

18 Ac Isaac eilwaith a gloddiodd y pydewau dwfr y rhai a gloddiasent yn nyddiau Abraham ei dad ef, ac a gauasai'r Philistiaid, wedi marw Abraham; ac a enwodd enwau arnynt, yn ol yr enwau a enwasai ei dad ef arnynt hwy.

19 Gweision Isaac a gloddiasant hefyd yn y dyffryn, ac a gawsant yno ffynnon o † ddwfr rhedegog.

† Heb. *byw*.

20 A bugeiliaid Gerar a ymrysonasant â bugeiliaid Isaac, gan ddywedyd, Y dwfr *sydd* eiddom ni. Yna efe a alwodd enw 'r ffynnon, ‡ Esec; o herwydd ymgynhennu o honynt ag ef.

‡ Sef, *Cynnen*.

21 Cloddiasant hefyd bydew arall; ac ymrysonasant am hwnnw: ac efe a alwodd ei enw ef § Sitnah.

§ Sef, *Cas*.

22 Ac efe a fudodd oddi yno, ac a gloddiodd bydew arall; ac nid ymrysonasant am hwnnw: ac efe a alwodd ei enw ef ‖ Rehoboth; ac a ddywedodd, Canys yn awr yr ehangodd yr Arglwydd arnom, a ni a ffrwythwn yn y tir.

‖ Sef, *Ehangder*.

23 Ac efe a aeth i fynu oddi yno i Beer-seba.

24 A'r Arglwydd a ymddangosodd iddo y noson honno, ac a ddywedodd, Myfi *yw* Duw Abraham dy dad ti: nac ofna; canys byddaf gyd â thi, ac a'th fendithiaf, ac a liosogaf dy had er mwyn Abraham fy ngwas.

[l] Pen. 12. 7. a 13. 18.

25 Ac efe [l] a adeiladodd yno allor, ac a alwodd ar enw 'r Arglwydd; ac yno y gosododd efe ei babell: a gweision Isaac a gloddiasant yno bydew.

[m] Pen. 21. 22.

26 ¶ Yna y daeth [m] Abimelech atto ef o Gerar, ac Ahuzzath ei gyfaill, a Phichol tywysog ei lu.

27 Ac Isaac a ddywedodd wrthynt, Paham y daethoch chwi attaf fi; gan i chwi fy nghasâu, a'm gyrru oddi wrthych?

28 Yna y dywedasant, Gan weled ni a welsom fod yr Arglwydd gyd â thi: a dywedasom, Bydded yn awr gyngrair rhyngom ni, *sef* rhyngom ni a thi; a gwnawn gyfammod â thi;

29 † Na wnai i ni ddrwg, megis na chyffyrddasom ninnau â thi, a megis y gwnaethom ddaioni yn unig â thi, ac y'th anfonasom mewn heddwch; ti yn awr *wyt* fendigedig yr Arglwydd.

† Heb. *os gwnai*.

30 Ac efe a wnaeth iddynt wledd; a hwy a fwyttasant ac a yfasant.

31 Yna y codasant yn fore, a hwy a dyngasant bob un i'w gilydd: ac Isaac a'u gollyngodd hwynt ymaith, a hwy a aethant oddi wrtho ef mewn heddwch.

32 A'r dydd hwnnw y bu i weision Isaac ddyfod, a mynegi iddo ef o achos y pydew a gloddiasent; a dywedasant wrtho, Cawsom ddwfr.

‡ Sef, *Llw*.

33 Ac efe a'i galwodd ef ‡ Seba: am hynny enw'r ddinas *yw* § Beer-seba hyd y dydd hwn.

§ Sef, *Ffynnon y Llw*.

1796.

34 ¶ Ac yr oedd [n] Esau yn fab deugeinmlwydd, ac efe a gymmerodd yn wraig, Judith ferch Beeri yr Hethiad, a Basemath ferch Elon yr Hethiad.

[n] Pen. 36. 2.

[o] Pen. 27. 46.

35 A [o] hwy oeddynt ‖ chwerwder yspryd i Isaac ac i Rebeccah

‖ *Hinder meddwl*.



## PEN. XXVII.

1 *Isaac yn anfon Esau am helwriaeth.* 6 *Rebeccah yn dysgu Jacob i gael y fendith.* 15 *Jacob yn rhith Esau yn ei chaffael.* 30 *Esau yn dwyn ei saig.* 33 *Isaac yn dychrynu.* 34 *Esau yn cwynofain, a thrwy daerni yn caffael bendith.* 41 *Yn bygwth Jacob.* 42 *Rebeccah yn ei siommi ef.*

Sul 2 o'r Grawys, B. Ioe. 15. B.

1760.

A Bu wedi heneiddio o Isaac, a [a] thywyllu ei lygaid fel na welai, alw o hono ef Esau ei fab hynaf, a dywedyd wrtho, Fy mab. Yntau a ddywedodd wrtho ef, Wele fi.

[a] Pen. 48. 10.

2 Ac efe a ddywedodd, Wele mi a heneiddiais yn awr, ac ni's gwn ddydd fy marwolaeth.

3 Ac yn awr cymmer, attolwg, dy offer, dy gawell saethau, a'th fwa, a dos allan i'r maes, a hela i mi helfa.

4 A gwna i mi flasus-fwyd o'r fath a garaf, a dwg i mi, fel y bwyttawyf; fel y'th fendithio fy enaid cyn fy marw.

5 A Rebeccah a glybu pan ddywedodd Isaac wrth Esau ei fab: ac Esau a aeth i'r maes, i hela helfa i'w dwyn.

6 ¶ A Rebeccah a lefarodd wrth Jacob ei mab, gan ddywedyd, Wele, clywais dy dad yn llefaru wrth Esau dy frawd, gan ddywedyd,

7 Dwg i mi helfa, a gwna i mi flasusfwyd, fel y bwyttawyf, ac y'th fendithiwyf ger bron yr Arglwydd cyn fy marw.

8 Ond yn awr, fy mab, gwrando ar fy llais i, am yr hyn a orchymynaf i ti.

9 Dos yn awr i'r praidd, a chymmer i mi oddi yno ddau fynn gafr da; a mi a'u gwnaf hwynt yn fwyd blasus i'th dad, o'r fath a gâr efe.

10 A thi a'i dygi i'th dad, fel y bwyttao, ac y'th fendithio cyn ei farw.

11 A dywedodd Jacob wrth Rebeccah ei fam, Wele, Esau fy mrawd yn wr blewog, a minnau yn wr llyfn:

12 Fy nhad, ond odid, a'm teimla; yna y byddaf yn ei olwg ef fel twyllwr; ac a ddygaf arnaf felldith, ac nid bendith.

13 A'i fam a ddywedodd wrtho, Arnaf fi y *byddo* dy felldith, fy mab, yn unig gwrando ar fy llais; dos a dwg i mi.

14 Ac efe a aeth, ac a gymmerth y *mynnod* ac a'u dygodd at ei fam: a'i fam a wnaeth fwyd blasus o'r fath a garai ei dad ef.

15 Rebeccah hefyd a gymmerodd hoffwisgoedd Esau ei mab hynaf, y rhai *oedd* gyd â hi yn tŷ, ac a wisgodd Jacob ei mab ieuangaf.

16 A gwisgodd hefyd grwyn y mynnod geifr am ei ddwylaw ef, ac am lyfndra ei wddf ef.

17 Ac a roddes y bwyd blasus, a'r bara a arlwyasai hi, yn llaw Jacob ei mab.

18 ¶ Ac efe a ddaeth at ei dad, ac a ddywedodd, Fy nhad. Yntau a ddywedodd, Wele fi: pwy wyt ti, fy mab?

19 A dywedodd Jacob wrth ei dad, Myfi *yw* Esau dy gyntaf-anedig: gwneuthum fel y dywedaist wrthyf: cyfod, attolwg, eistedd, a bwytta o'm helfa, fel y'm bendithio dy enaid.

20 Ac Isaac a ddywedodd wrth ei fab, Pa fodd, fy mab, y cefaist mor fuan a hyn? Yntau a ddywedodd, Am i'r Arglwydd dy Dduw beri *iddo* ddigwyddo o'm blaen.

21 A dywedodd Isaac wrth Jacob, Tyred yn nês yn awr, fel y'th deimlwyf, fy mab ai tydi *yw* fy mab Esau, ai nad e.

22 A nesaodd Jacob at Isaac ei dad: yntau a'i teimlodd; ac a ddywedodd, Y llais *yw* llais Jacob; a'r dwylaw, dwylaw Esau *ydynt*.

23 Ac nid adnabu efe ef, am fod ei ddwylaw fel dwylaw ei frawd Esau, yn flewog: felly efe a'i bendithiodd ef.

24 Dywedodd hefyd, Ai ti yw fy mab Esau? Yntau a ddywedodd, Myfi yw.

25 Ac efe a ddywedodd, Dwg yn nês attaf fi, a mi a fwyttâf o helfa fy mab, fel y'th fendithio fy enaid. Yna y dug atto ef, ac efe a fwyttaodd: dug iddo win hefyd, ac efe a yfodd.

26 Yna y dywedodd Isaac ei dad wrtho ef, Tyred yn nês yn awr, a chusana fi, fy mab.

27 Yna y daeth efe yn nês, ac a'i cusanodd ef; ac a aroglodd arogl ei wisgoedd ef, ac a'i bendithiodd ef, ac a ddywedodd, Wele, arogl fy mab fel arogl maes, yr hwn a fendithiodd yr ARGLWYDD.

28 A [b] rhodded Duw i ti o wlith y nefoedd, ac o fraster y ddaear, ac amldra o ŷd a gwin;

[b] Heb. 11. 20.

29 [c] Gwasanaethed pobloedd dydi, ac ymgrymmed cenhedloedd i ti: bydd di arglwydd ar dy frodyr, ac [d] ymgrymmed meibion dy fam i ti: [e] melldigedig *fyddo* a'th felldithio, a bendigedig a'th fendithio.

[c] Pen. 9. 25. a 25. 23. [d] Pen. 49. 8. [e] Pen. 12. 3.

30 ¶ A bu, pan ddarfu i Isaac fendithio Jacob, ac i Jacob yn brin fyned allan o ŵydd Isaac ei dad, yna Esau ei frawd a ddaeth o'i hela.

31 Ac yntau hefyd a wnaeth fwyd blasus, ac a'i dug at ei dad; ac a ddywedodd wrth ei dad, Cyfoded fy nhad, a bwyttâed o helfa ei fab, fel y'm bendithio dy enaid.

32 Ac Isaac ei dad a ddywedodd wrtho, Pwy *wyt* ti? Yntau a ddywedodd, Myfi *yw* dy fab, dy gyntaf-anedig Esau.

33 Ac Isaac a ddychrynodd â dychryn mawr iawn, ac a ddywedodd, Pwy? p'le mae yr hwn a heliodd helfa, ac a'i dug i mi, a mi a fwytteais o'r cwbl cyn dy ddyfod, ac a'i bendithiais ef? [f] bendigedig hefyd fydd efe.

[f] Pen. 28. 3, 4.

34 Pan glybu Esau eiriau ei dad, [g] efe a waeddodd â gwaedd fawr a chwerw iawn, ac a ddywedodd wrth ei dad, Bendithia fi, ïe finnau, fy nhad.

[g] Heb. 12. 17.

35 Ac efe a ddywedodd, Dy frawd a ddaeth mewn twyll, ac a ddug dy fendith di.

36 Dywedodd yntau, [h] Ond iawn y gelwir ei enw ef † Jacob? canys efe a'm disodlodd i ddwy waith bellach: [i] dug fy ngenedigaethfraint; ac wele, yn awr efe a ddygodd fy mendith: dywedodd hefyd, Oni chedwaist gyd â thi fendith i minnau?

[h] Pen. 25. 26. † Sef, *Disodlwr.* [i] Pen. 25. 33.

37 Ac Isaac a attebodd, ac a ddywedodd wrth Esau, Wele, [k] mi a'i gwneuthum ef yn arglwydd i ti, a rhoddais ei holl frodyr yn weision iddo ef; ag ŷd a gwin y cynheliais ef: a pheth a wnaf i tithau, fy mab, weithian?

[k] Ad. 20. 2 Sam. 8. 14.

38 Ac Esau a ddywedodd wrth ei dad, Ai un fendith sydd gennyt, fy nhad? bendithia finnau, finnau hefyd, fy nhad. Felly Esau a ddyrchafodd ei lef, ac [l] a wylodd.

[l] Heb. 12. 17.

39 Yna 'r attebodd Isaac ei dad, ac a ddywedodd wrtho, Wele, [m] ym mraster y ddaear y bydd dy breswylfod, ac ym mysg gwlith y nefoedd oddi uchod;

[m] Ad. 28. Heb. 11. 20.

40 Wrth dy gleddyf hefyd y byddi fyw, [n] a'th frawd a wasanaethi: [o] onid bydd *amser* pan feistrolech di, ac y torrech ei iau ef oddi am dy wddf.

[n] Pen. 25. 23. Ob. 18, 19, 20. [o] 2 Sam. 8. 14.

41 ¶ Ac Esau a gasaodd Jacob, am y fendith â'r hon y bendithiasai ei dad ef: ac
Esau a ddywedodd yn ei galon, Nesâu y mae dyddiau galar fy nhad; [p] yna lladdaf Jacob fy mrawd.

[p] Ob. 10.

42 A mynegwyd i Rebeccah eiriau Esau ei mab hynaf. Hithau a anfonodd, ac a alwodd am Jacob ei mab ieuangaf, ac a ddywedodd wrtho, Wele, Esau dy frawd sy 'n ymgysuro o'th blegid di, *ar fedr* dy ladd di.

43 Ond yn awr, fy mab, gwrando ar fy llais: cyfod, ffo at Laban fy mrawd, i Haran.

44 Ac aros gyd ag ef ychydig ddyddiau, hyd oni chilio llid dy frawd;

45 Hyd oni chilio digofaint dy frawd oddi wrthyt, ac anghofio o hono ef yr hyn a wnaethost iddo: yna 'r anfonaf ac y'th gyrchaf oddi yno. Pa ham y byddwn yn ymddifad o honoch eich dau *mewn* un dydd?

46 Dywedodd Rebeccah hefyd wrth Isaac, [q] Blinais ar fy einioes o herwydd merched Heth: os cymmer Jacob wraig o ferched Heth, fel y rhai hyn o ferched y wlad, i ba beth y *chwennychwn* fy einioes?

[q] Pen. 26. 35. a 28. 8.

## PEN. XXVIII.

1 *Isaac yn bendithio Jacob, ac yn ei anfon ef i Padan-Aram.* 9 *Esau yn prïodi Mahalath merch Ismael.* 12 *Gweledigaeth ysgol Jacob.* 18 *Maen Bethel.* 20 *Addunedd Jacob.*

Ion. 15. P.

YNA y galwodd Isaac ar Jacob, ac a'i bendithiodd ef: efe a orchymynodd iddo hefyd, ac a ddywedodd wrtho, [a] Na chymmer wraig o ferched Canaan.

1760. [a] Pen. 24. 3.

2 [b] Cyfod, dos i † [c] Mesopotamia, i dŷ [d] Bethuel tad dy fam; a chymmer it' wraig oddi yno, o ferched [e] Laban brawd dy fam:

[b] Hos. 12. 12. † *Padan-Aram.* [c] Pen. 25. 20.

3 A Duw Hollalluog a'th fendithio, ac a'th ffrwythlono, ac a'th liosogo, fel y byddech yn † gynnulleidfa pobloedd;

[d] Pen. 22. 22.

4 Ac a roddo i ti [f] fendith Abraham, i ti ac i'th had gyd â thi, i etifeddu o honot dir dy ymdaith, yr hwn a roddodd Duw i Abraham.

[e] Pen. 24. 29. † *Lliaws o bobloedd.* [f] Pen. 12. 2.

5 Felly Isaac a anfonodd ymaith Jacob: ac efe a aeth i Mesopotamia, at Laban fab Bethuel y Syriad, brawd Rebeccah, mam Jacob ac Esau.

6 ¶ Pan welodd Esau fendithio o Isaac Jacob, a'i anfon ef i Mesopotamia, i gymmeryd iddo wraig oddi yno, a gorchymyn iddo wrth ei fendithio, gan ddywedyd, Na chymmer wraig o ferched Canaan;

7 A gwrando o Jacob ar ei dad, ac ar ei fam, a'i fyned i Mesopotamia;

8 Ac Esau yn gweled mai drwg oedd merched Canaan yngolwg Isaac ei dad:

9 Yna Esau a aeth at Ismael, ac a gymmerodd [g] Mahalath merch Ismael mab Abraham, chwaer Nebaioth, yn wraig iddo, at ei wragedd *eraill*.

[g] Pen. 36. 3. *Basemath.*

10 ¶ A Jacob [h] a aeth allan o Beer-seba, ac a aeth tua a [i] Haran.

[h] Hos. 12. 13. [i] Act. 7. 2. *Charran.*

11 Ac a ddaeth ar ddamwain i fangre, ac a lettyodd yno dros nos; oblegid machludo'r haul: ac efe a gymmerth o gerrig y lle hwnnw, ac a osododd dan ei ben, ac a gysgodd yn y fan honno.

12 Ac efe a freuddwydiodd; ac wele ysgol yn sefyll ar y ddaear, a'i phen yn cyrhaeddyd i'r nefoedd: ac wele, [k] angylion Duw yn dringo ac yn disgyn ar hyd-ddi.

[k] Io. 1. 51. Heb. 1. 14.

13 Ac [l] wele, yr ARGLWYDD yn sefyll arni: ac efe a ddywedodd, Myfi *yw* ARGLWYDD DDUW Abraham dy dad, a Duw Isaac; y tir yr wyt ti yn gorwedd arno, i ti y rhoddaf ef, ac i'th had.

[l] Pen. 35. 1. a 48. 3.

14 [m] A'th had ti fydd fel llwch y ddaear; a

[m] Pen. 13. 16.

[n] Deut. 12. 20.
thi a dorri allan [n] i'r gorllewin, ac i'r dwyrain, ac i'r gogledd, ac i'r dehau: a holl deuluoedd y ddaear a fendithir ynot ti, ac

[o] Pen. 12. 3. a 18. 18. a 22. 18. a 26. 4.
[o] yn dy had di.

[p] Edrych ad. 20, 21.
15 Ac wele [p] fi gyd â thi; ac mi a'th gadwaf pa le bynnag yr elych, ac a'th ddygaf drachefn i'r wlad hon: o herwydd ni'th adawaf, hyd oni wnelwyf yr hyn a leferais wrthyt.

16 ¶ A Jacob a ddeffrôdd o'i gwsg; ac a ddywedodd, Dïau fod yr ARGLWYDD yn y lle hwn, ac ni's gwyddwn i.

17 Ac efe a ofnodd, ac a ddywedodd, Mor ofnadwy yw'r lle hwn! nid *oes* yma onid tŷ i DDUW, a dyma borth y nefoedd.

18 A Jacob a gyfododd yn fore, ac a gymmerth y garreg a osodasai efe dan ei ben, ac efe [q] a'i gosododd hi yn golofn, ac a dywalltodd olew ar ei phen hi.

[q] Pen. 31. 13, 45. a 35. 14.

19 Ac efe a alwodd enw'r [r] lle hwnnw, † Bethel: ond Luz *fuasai* enw'r ddinas o'r cyntaf.

[r] Bar. 1. 21, 26. Hos. 4. 15.
† Sef, *Tŷ Duw.*

20 Yna yr addunodd Jacob adduned, gan ddywedyd, Os [s] DUW fydd gyd â myfi, ac a'm ceidw yn y ffordd yma, yr hon yr ydwyf yn ei cherdded, a rhoddi i mi [t] fara i'w fwytta, a dillad i'w gwisgo,

[s] Ad. 15.
[t] 1 Tim. 6. 8.

21 A dychwelyd o honof mewn heddwch i dŷ fy nhad; yna y bydd yr ARGLWYDD yn DDUW i mi.

22 A'r garreg yma, yr hon a osodais yn golofn, [u] a fydd yn dŷ DDUW; ac o'r hyn oll a roddech i mi, gan ddegymmu mi a'i degymmaf i ti.

[u] Pen. 35. 7, 14.

## PEN. XXIX.

Ion. 16. B.
1 *Jacob yn dyfod at ffynnon Haran.* 9 *Yn ymgaredigo â Rahel.* 13 *Laban yn ei groesawu ef i'w dŷ.* 18 *Jacob yn gwneuthur ammod am Rahel.* 23 *Ei siommi ef â Leah.* 28 *Yntau yn priodi Rahel, ac yn gwasanaethu am dani hi saith mlynedd eraill.* 32 *Leah yn dwyn Reuben,* 33 *Simeon,* 34 *Lefi,* 35 *a Judah.*

1760.
† Heb. *draed.*
‡ *pobl.*

A Jacob a gymmerth ei † daith, ac a aeth i wlad ‡ meibion y dwyrain.

2 Ac efe a edrychodd, ac wele bydew yn y maes, ac wele dair dïadell o ddefaid yn gorwedd wrtho; o herwydd o'r pydew hwnnw y dyfrhâent y dïadelloedd: a charreg fawr *oedd* ar enau'r pydew.

3 Ac yno y cesglid yr holl ddïadelloedd: a hwy a dreiglent y garreg oddi ar enau'r pydew, ac a ddyfrhâent y praidd; yna y rhoddent y garreg drachefn ar enau'r pydew yn ei lle.

4 A dywedodd Jacob wrthynt, Fy mrodyr, o ba le'r *ydych* chwi? A hwy a ddywedasant, O Haran yr ydym ni.

5 Ac efe a ddywedodd wrthynt, A adwaenoch chwi Laban fab Nachor? A hwy a ddywedasant Adwaenom.

6 Yntau a ddywedodd wrthynt hwy, A *oes* § llwyddiant iddo ef? A hwy a ddywedasant, *Oes* llwyddiant: ac wele Rahel ei ferch ef yn dyfod gyd â'r defaid.

§ Heb. *heddwch.*

7 Yna y dywedodd efe, Wele etto y dydd yn ‖ gynnar, nid *yw* bryd casglu'r anifeiliaid: dyfrhêwch y praidd, ac ewch, *a* bugeiliwch.

‖ Heb. *fawr.*

8 A hwy a ddywedasant, Ni allwn ni, hyd oni chasgler yr holl ddïadelloedd, a threiglo o honynt y garreg oddi ar wyneb y pydew; yna y dyfrhâwn y praidd.

9 ¶ Tra'r ydoedd efe etto yn llefaru wrthynt, daeth Rahel hefyd gyd â'r praidd *oedd* eiddo ei thad; oblegid hi oedd yn bugeilio.

10 A phan welodd Jacob Rahel ferch Laban brawd ei fam, a phraidd Laban brawd ei fam; yna y nesaodd Jacob, ac [a] a dreiglodd y garreg oddi ar enau'r pydew, ac a ddyfrhaodd braidd Laban brawd ei fam.

[a] Ex. 2. 17.

11 A Jacob a gusanodd Rahel, ac a ddyrchafodd ei lef, ac a wylodd.

12 A mynegodd Jacob i Rahel, mai brawd ei thad oedd efe, ac mai mab Rebeccah oedd efe: hithau a redodd, ac a fynegodd i'w thad.

13 A phan glybu Laban † hanes Jacob mab ei chwaer, yna efe a redodd i'w gyfarfod ef, ac a'i cofleidiodd ef, ac a'i cusanodd, ac a'i dug ef i'w dŷ: ac efe a fynegodd i Laban yr holl bethau hyn.

† Heb. *son am.*

14 A dywedodd Laban wrtho ef, Yn ddïau fy asgwrn i a'm cnawd ydwyt ti: ac efe a drigodd gyd ag ef fis o ddyddiau.

15 ¶ A Laban a ddywedodd wrth Jacob, Ai o herwydd mai fy mrawd wyt ti, y'm gwasanaethi yn rhad? mynega i mi beth *fydd* dy gyflog?

16 Ac i Laban yr *oedd* dwy o ferched: enw'r hynaf *oedd* Leah, ac enw'r ieuangaf Rahel.

17 A llygaid Leah *oedd* weiniaid; ond Rahel oedd dêg ei phryd, a glandeg yr olwg.

18 A Jacob a hoffodd Rahel; ac a ddywedodd, Mi a'th wasanaethaf di saith mlynedd am Rahel dy ferch ieuangaf.

19 A Laban a ddywedodd, Gwell yw ei rhoddi hi i ti, nâ'i rhoddi hi i wr arall: aros gyd â mi.

20 Felly Jacob [b] a wasanaethodd am Rahel saith mlynedd: ac yr oeddynt yn ei olwg ef fel ychydig ddyddiau, am fod yn hoff ganddo efe hi.

[b] Hos. 12. 13.

21 ¶ A dywedodd Jacob wrth Laban, 1753.
Moes i mi fy ngwraig (canys cyflawnwyd fy nyddiau) fel yr elwyf atti hi.

22 A Laban a gasglodd holl ddynion y fan honno, ac a wnaeth wledd.

23 Ond bu yn yr hwyr, iddo gymmeryd Leah ei ferch, a'i dwyn hi atto ef; ac yntau a aeth atti hi.

24 A Laban a roddodd iddi Zilpah ei forwyn, yn forwyn i Leah ei ferch.

25 A bu, y bore, wele Leah *oedd* hi: yna y dywedodd efe wrth Laban, Pa ham y gwnaethost hyn i mi? onid am Rahel y'th wasanaethais? a pha ham y'm twyllaist?

26 A dywedodd Laban, Ni wnair felly yn ein ‡ gwlad ni, gan roddi'r ieuangaf o flaen yr hynaf.

‡ Heb. *le.*

27 Cyflawna di wythnos hon, a ni a roddwn i ti hon hefyd, am y gwasanaeth a wasanaethi gyd â mi etto saith mlynedd eraill.

28 A Jacob a wnaeth felly, ac a gyflawnodd ei hwythnos hi: ac efe a roddodd Rahel ei ferch yn wraig iddo.

29 Laban hefyd a roddodd i Rahel ei ferch, Bilhah ei forwyn, yn forwyn iddi hi.

30 Ac efe a aeth hefyd at Rahel, ac a hoffodd Rahel yn fwy nâ Leah, ac a wasanaethodd gyd ag ef etto saith mlynedd eraill.

31 ¶ A phan welodd yr ARGLWYDD mai cas oedd Leah, yna efe a agorodd ei chroth hi: a Rahel *oedd* ammhlantadwy.

32 A Leah a feichiogodd, ac a esgorodd Cylch
ar fab, ac a alwodd ei enw ef § Reuben: o 1752.
herwydd hi a ddywedodd, Dïau edrych o'r ARGLWYDD ar fy nghystudd; canys yn awr fy ngwr a'm hoffa i.

§ Sef, *Gwelwch fab.*

Cylch 1751. 33 A hi a feichiogodd eilwaith, ac a es-
gorodd ar fab, ac a ddywedodd, Am gly-
wed o'r ARGLWYDD mai cas *ydwyf* fi; am
hynny y rhoddodd efe i mi hwn hefyd: a
† Sef, Clywed. hi alwodd ei enw ef † Simeon.
34 A hi a feichiogodd drachefn, ac a es-
Cylch 1750. gorodd ar fab, ac a ddywedodd, Fy ngwr
weithian a lŷn yn awr wrthyf fi, canys
plentais iddo dri mab: am hynny y galwyd
‡ Sef, Glynu. ei enw ef ‡ Lefi.
Cylch 1749. 35 A hi a feichiogodd drachefn, ac a
esgorodd ar fab, ac a ddywedodd, Weithian
c Mat. 1. 2. y moliannaf yr ARGLWYDD: am hynny y
§ Sef, Moliant. galwodd ei enw ef c § Judah. A hi a beidi-
odd â phlanta.

## PEN. XXX.

Ion, 16. P. 1 *Rahel, gan fod yn ddigllon nad oedd yn
planta, yn rhoddi Bilhah ei llaw-forwyn i
Jacob.* 5 *Hithau yn dwyn Dan a Naph-
tali.* 9 *Leah yn rhoddi Zilpah ei llaw-for-
wyn, yr hon a ymddûg Gad ac Aser.* 14
*Reuben yn cael mandragorau, am y rhai y
mae Leah yn prynu ei gwr gan Rahel.* 17
*Leah yn dwyn Issachar, Zabulon, a Dinah.*
22 *Rahel yn dwyn Joseph.* 25 *Jacob yn
deisyfu cael myned ymaith.* 27 *Laban yn
ei attal ef ar gyfammod newydd.* 37 *Dyfais
Jacob, trwy'r hon yr ymgyfoethogodd efe.*

PAN welodd Rahel na phlantasai hithau
i Jacob, yna Rahel a gynfigennodd wrth
ei chwaer, ac a ddywedodd wrth Jacob,
Moes feibion i mi; ac onid ê mi *a fyddaf*
farw.
2 A chynneuodd llid Jacob wrth Rahel;
ac efe a ddywedodd, Ai myfi *sy* yn lle
Duw, yr hwn a attaliodd ffrwyth y groth
oddi wrthyt ti?
a Edrych Pen. 16. 2. 3 A dywedodd hithau, a Wele fy llaw-
forwyn Bilhah, dos i mewn atti hi; a hi a
† Heb. yr adeilader f. ganddi hi. blanta ar fy ngliniau i, fel † y caffer plant i
minnau hefyd o honi hi.
4 A hi a roddes ei llaw-forwyn Bilhah iddo
b Pen. 35. 22. ef b yn wraig, a Jacob a aeth i mewn atti.
5 A Bilhah a feichiogodd, ac a ymddûg
fab i Jacob.
6 A Rahel a ddywedodd, Duw a'm barn-
odd i, ac a wrandawodd hefyd ar fy llais,
ac a roddodd i mi fab: am hynny hi a alw-
‡ Sef, Barnu. odd ei enw ef ‡ Dan.
7 Hefyd Bilhah, llaw-forwyn Rahel, a
feichiogodd eilwaith, ac a ymddûg yr ail
mab i Jacob.
8 A Rahel a ddywedodd, Ymdrechais
§ Heb. Duw. ymdrechiadau § gorchestol â'm chwaer, a
gorchfygais: a hi a alwodd ei enw ef
|| Sef, Fy ymdrech. || c Naphtali.
c Mat. 4. 13, Nephthalim. 9 Pan welodd Leah beidio o honi â phlan-
ta, hi a gymmerth ei llaw-forwyn Zilpah, ac
a'i rhoddes hi yn wraig i Jacob.
10 A Zilpah, llaw-forwyn Leah, a ym-
ddûg fab i Jacob.
11 A Leah a ddywedodd, Y mae tyrfa yn
† Sef, Bagad. dyfod: a hi a alwodd ei enw ef † Gad.
12 A Zilpah, llaw-forwyn Leah, a ym-
ddûg yr ail mab i Jacob.
Cylch 1751. 13 A Leah a ddywedodd, Yr ydwyf yn
ddedwydd; oblegid merched a'm galwant yn
‡ Sef, Dedwydd. ddedwydd: a hi a alwodd ei enw ef ‡ Aser.
14 ¶ Reuben hefyd a aeth yn nyddia
cynhauaf gwenith, ac a gafodd fandragorau
yn y maes, ac a'u dug hwynt at Leah ei fam:
yna Rahel a ddywedodd wrth Leah, Dyro,
attolwg, i mi o fandragorau dy fab.
15 Hithau a ddywedodd wrthi, Ai bychan
*yw* dwyn o honot fy ngwr? a fynnit ti hefyd
ddwyn mandragorau fy mab? A Rahel a
ddywedodd, Cysged gan hynny gyd â thi
heno am fandragorau dy fab.
16 A Jacob a ddaeth o'r maes yn yr hwyr;
a Leah a aeth allan i'w gyfarfod ef, ac a
ddywedodd, Attaf fi y deui: oblegid gan
brynu y'th brynais am fandragorau fy mab.
Ac efe a gysgodd gyd â hi y nos honno.
17 A Duw a wrandawodd ar Leah, a hi a
feichiogodd, ac a ymddûg y pummed mab
i Jacob.
18 A Leah a ddywedodd, Rhoddodd Duw Cylch
fy ngwobr i *mi*, o herwydd rhoddi o honof 1750.
fi fy llaw-forwyn i'm gwr: a hi a alwodd ei
enw ef § Issachar. § Sef,
19 Leah hefyd a feichiogodd etto, ac a Gwobr.
ymddûg y chweched mab i Jacob.
20 A Leah a ddywedodd, Cynhysgaedd- Cylch
odd Duw fyfi â chynhysgaeth dda; fy 1749.
ngwr a drig weithian gyd â mi, oblegid
chwech o feibion a ymddygais iddo ef: a hi
a alwodd ei enw ef || Zabulon. || Sef,
21 Ac wedi hynny hi a esgorodd ar ferch, Trigfa.
ac a alwodd ei henw hi † Dinah. Cylch
22 ¶ A Duw a gofiodd Rahel, a Duw a 1748.
wrandawodd arni, ac a agorodd ei chroth hi. † Sef, Barn.
23 A hi feichiogodd, ac a esgorodd ar 1745.
fab, ac a ddywedodd, Duw a dynnodd d fy d 1 Sam. 1. 6.
ngwarthrudd ymaith. Es. 4. 1.
24 A hi a alwodd ei enw ef ‡ Joseph, gan Luc 1. 25.
ddywedyd, e Yr ARGLWYDD a ddyry yn ‡ Sef,
ychwaneg i mi fab arall. Ychwaneg
25 ¶ A bu wedi esgor o Rahel ar Joseph, e Pen. 35.
ddywedyd o Jacob wrth Laban, Gollwng 17.
fi ymaith, fel yr elwyf i'm bro, ac i'm gwlad
fy hun.
26 Dyro fy ngwragedd i mi, a'm plant, y
rhai y gwasanaethais am danynt gyd â thi,
fel yr elwyf ymaith: oblegid ti a wyddost
fy ngwasanaeth a wneuthum i ti.
27 A Laban a ddywedodd wrtho, Os cef-
ais ffafr yn dy olwg, *na syfl*: f da y gwn i'r f Pen. 39. 5
ARGLWYDD fy mendithio i o'th blegid di.
28 Hefyd efe a ddywedodd, Dogna dy
gyflog arnaf, a mi a'i rhoddaf.
29 Yntau a ddywedodd wrtho, Ti a wyd-
dost pa ddelw y gwasanaethais dydi; a pha
fodd y *bu* dy anifeiliaid di gyd â myfi.
30 Oblegid ychydig *oedd* yr hyn ydoedd
gennyt ti cyn fy *nyfod* i, ond yn lliosowg-
rwydd § y cynnyddodd; o herwydd yr § Heb.
ARGLWYDD a'th fendithiodd di || er pan torrodd
ddaethum i: bellach gan hynny pa bryd y allan.
darparaf hefyd i'm tŷ fy hun? || Heb.
31 Dywedodd yntau, Pa beth a roddaf i wrth fy nhroed i.
ti? A Jacob a attebodd, Ni roddi i mi
ddim; os gwnai i mi y peth hyn, bugelliaf a
chadwaf dy braidd di drachefn,
32 Tramwyaf trwy dy holl braidd di he-
ddyw, gan neillduo oddi yno bob llwdn
mân-frith a mawr-frith, a phob llwdn coch-
ddu ym mhlith y defaid; y mawr-frith he-
fyd a'r mân-frith ym mhlith y geifr: ac *o'r
rhai hynny* y bydd fy nghyflog.
33 A'm cyfiawnder a dystiolaetha gyd â
mi † o hyn allan, pan ddêl hynny yn gyflog † Heb.
i mi o flaen dy wyneb di: yr hyn oll ni *y foru.*
*byddo* fân-frith neu fawr-frith ym mhlith y
geifr, neu goch-ddu ym mhlith y defaid,
lladrad *a fydd* hwnnw gyd â myfi.
34 A dywedodd Laban, Wele, O na bydd-
ai yn ol dy air di!
35 Ac yn y dydd hwnnw y neillduodd
efe 'r bychod cylch-frithion a mawr-frithion,
a'r holl eifr mân-frithion a mawr-frithion,
yr hyn oll yr *oedd peth* gwŷn arno, a phob

coch-ddu ym mhlith y defaid, ac a'u rhod-
des dan law ei feibion ei hun.
36 Ac a osododd daith tri niwrnod rhyng-
ddo ei hun a Jacob: a Jacob a borthodd y
rhan arall o braidd Laban.
g Edrych Pen. 31. 9—12. 37 ¶ A g Jacob a gymmerth iddo wïail
gleision o boplys, a chyll, a ffawydd; ac a
ddirisglodd ynddynt ddirisgliadau gwynion,
gan ddatguddio y gwŷn yr hwn *ydoedd* yn
y gwïail.
38 Ac efe a osododd y gwïail y rhai a
ddirisglasai efe, yn y cwtterydd, o fewn y
cafnau dyfroedd, lle y deuai 'r praidd i yfed,
ar gyfer y praidd; fel y cyfebrent pan ddel-
ent hwy i yfed.
39 A'r praidd a gyfebrasant wrth y gwiail;
a'r praidd a ddug rai cylch-frithion, a mân-
frithion, a mawr-frithion.
40 A Jacob a ddidolodd yr ŵyn, ac a
osododd wynebau 'r praidd tu ag at y cylch-
frithion, ac at bob coch-ddu ym mhlith
praidd Laban; ac a osododd ddïadellau
iddo ei hun o'r neilldu, ac nid gyd â phraidd
Laban y gosododd hwynt.
41 A phob *amser* y cyfebrai 'r defaid cryf-
af, Jacob a osodai 'r gwïail o flaen y praidd
yn y cwtterydd, i gael o honynt gyfebru
wrth y gwïail;
42 Ond pan fyddai 'r praidd yn weiniaid,
ni osodai efe *ddim*: felly y gwannaf oedd
eiddo Laban, a'r cryfaf eiddo Jacob.
43 A'r gwr a gynnyddodd yn dra rhagorol;
ac yr ydoedd iddo ef braidd helaeth, a mor-
wynion, a gweision, a chamelod, ac asynod.

## PEN. XXXI.

Ion. 17. B. 1 *Jacob ar sorriant yn ymadael yn ddirgel.*
19 *Rahel yn lladratta delwau ei thad.* 22
*Laban yn canlyn ar ei ol ef,* 26 *ac yn
achwyn rhag y cam.* 34 *Dyfais Rahel i
guddio'r delwau.* 36 *Jacob yn achwyn o
herwydd Laban.* 43 *Y cyfammod rhwng
Laban a Jacob yn Galeed.*

1739. AC efe a glybu eiriau meibion Laban yn
dywedyd, Jacob a ddug yr hyn oll *oedd*
i 'n tad ni, ac o'r hyn *ydoedd* i 'n tad ni y
cafodd efe yr holl anrhydedd hyn.
2 Hefyd Jacob a welodd wynebpryd Laban,
† Heb. doe ac echdoe. ac wele nid *ydoedd* tu ag atto ef megis † cynt.
3 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth
Jacob, Dychwel i wlad dy dadau, ac at dy
genedl; a mi a fyddaf gyd â thi.
4 A Jacob a anfonodd, ac a alwodd Rahel
a Leah i 'r maes, at ei braidd,
5 Ac a ddywedodd wrthynt, Myfi a welaf
wynebpryd eich tad chwi, nad yw fel cynt tu
ag attaf fi: a Duw fy nhad a fu gyd â myfi.
6 A chwi a wyddoch mai â'm holl allu y
gwasanaethais eich tad.
a Ad. 41. 7 A'ch tad a'm twyllodd i, ac a a newid-
b Num. 14. 22. iodd fy nghyflog i b ddengwaith: ond ni 's
Neh. 4. 12. Job 19. 3. dioddefodd Duw iddo wneuthur i mi ddrwg.
Zec. 8. 23. 8 Os fel hyn y dywedai; Y mân-frithion
a fydd dy gyflog di, yna yr holl braidd a
eppilient fân-frithion: ond os fel hyn y dy-
wedai; Y cylch-frithion a fydd dy gyflog
di, yna'r holl braidd a eppilient *rai* cylch-
frithion.
9 Felly Duw a ddug anifeiliaid eich tad
chwi, ac a'u rhoddes i mi.
10 Bu hefyd yn amser cyfebru o'r praidd,
ddyrchafu o honof fy llygaid, ac mewn
‡ Neu, y bychod. breuddwyd y gwelais, ac wele ‡ yr hyrddod
(y rhai oedd yn llammu 'r praidd) yn gylch-
frithion, yn fân-frithion, ac yn fawr-frithion.
11 Ac angel Duw a ddywedodd wrthyf
mewn breuddwyd, Jacob. Minnau a atte-
bais, Wele fi.
12 Yntau a ddywedodd, Dyrchafa weith-
ian dy lygaid, a gwel yr holl hyrddod y
rhai ydynt yn llammu 'r praidd yn gylch-
frithion, yn fân-frithion, ac yn fawr-frith-
ion; oblegid gwelais yr hyn oll y mae La-
ban yn ei wneuthur i ti.
13 Myfi *yw* Duw Bethel, c lle 'r enneini- c Pen. 28. 18.
aist y golofn, a lle 'r addunaist adduned i
mi: d cyfod bellach, dos allan o'r wlad hon, d Pen. 32. 9.
dychwel i wlad dy genedl dy hun.
14 A Rahel a Leah a attebasant, ac a
ddywedasant wrtho, A *oes* etto i ni ran, neu
etifeddiaeth yn nhŷ ein tad?
15 Onid yn estronesau y cyfrifodd efe
nyni? oblegid e efe a'n gwerthodd; a chan e Pen. 29. 15, 27.
dreulio a dreuliodd hefyd ein harian ni.
16 Canys yr holl olud yr hwn a ddug
Duw oddi ar ein tad ni, nyni a'n plant a'i
pïau: ac yr awr hon yr hyn oll a ddywed-
odd Duw wrthyt, gwna.
17 ¶ Yna Jacob a gyfododd, ac a osod- 1739.
odd ei feibion a'i wragedd ar gamelod;
18 Ac a ddug ymaith ei holl anifeiliaid,
a'i holl gyfoeth yr hwn a ynnillasai, *sef* ei
anifeiliaid meddiannol, y rhai a ynnillasai
efe ym § Mesopotamia, i fyned at Isaac ei § Padan-Aram.
dad, i wlad Canaan.
19 Laban hefyd a aethai i gneifio ei dde-
faid: a Rahel a ladrattasai 'r ‖ delwau *oedd* ‖ Heb. Teraphim.
gan ei thad hi.
20 A Jacob a aeth ymaith yn lladradaidd,
† heb wybod i Laban y Syriad: canys ni fy- † Heb. â chalon Laban.
negodd iddo mai ffoi yr oedd.
21 Felly y ffodd efe â'r hyn oll *oedd* gan-
ddo, ac a gyfododd ac a aeth dros yr afon,
ac a gyfeiriodd *at* fynydd Gilead.
22 A mynegwyd i Laban, ar y trydydd
dydd, ffoi o Jacob.
23 Ac efe a gymmerth ei frodyr gyd ag ef,
ac a erlidiodd ar ei ol ef daith saith niwr-
nod; ac a'i goddiweddodd ef ym mynydd
Gilead.
24 A Duw a ddaeth at Laban y Syriad,
liw nos, f mewn breuddwyd, ac a ddywed- f Job 33. 15.
odd wrtho, Cadw arnat rhag yngan o ho-
not wrth Jacob na da na drwg.
25 ¶ Yna Laban a oddiweddodd Jacob: a
Jacob a osododd ei babell yn y mynydd;
Laban hefyd a wersyllodd ynghŷd â'i frodyr
ym mynydd Gilead.
26 A Laban a ddywedodd wrth Jacob,
Pa beth a wnaethost? oblegid ti a aethost
yn lladradaidd oddi wrthyf fi, ac a ddygaist
fy merched fel caethion cleddyf.
27 Am ba beth y ffoaist yn ddirgel, ac y
lladratteaist ‡ oddi wrthyf fi, ac ni fynegaist ‡ Heb. fi.
i mi, fel yr hebryngaswn dydi â llawenydd,
ac â chaniadau, â thympan, ac â thelyn?
28 Ac na adewaist i mi gusanu fy meibion
a'm merched? Gwnaethost yr awr hon yn
ffol, gan wneuthur hyn.
29 Mae ar fy llaw i wneuthur i chwi
ddrwg: ond Duw eich tad a lefarodd wrth-
yf neithiwyr, gan ddywedyd, Cadw arnat
rhag yngan wrth Jacob na da na drwg.
30 Weithian gan hynny, ti a fynnit fyned
ymaith, oblegid gan hiraethu yr hiraethaist
am dŷ dy dad. *Ond* pa ham y lladratteaist
fy nuwiau i?
31 A Jacob a attebodd ac a ddywedodd
wrth Laban, Am ofni o honof: oblegid dy-
wedais, Rhag dwyn o honot dy ferched
oddi arnaf trwy drais.
32 Gyd â 'r hwn y ceffych dy dduwiau,

g Edrych Pen. 44. 9.

g na chaffed fyw: ger bron ein brodyr myn wybod pa beth o'r eiddot ti sydd gyd â myfi, a chymmer i ti: ac ni's gwyddai Jacob mai Rahel a'u lladrattasai hwynt.

33 A Laban a aeth i mewn i babell Jacob, ac i babell Leah, ac i babell y ddwy law-forwyn, ac ni's cafodd hwynt: yna yr aeth allan o babell Leah, ac y daeth i babell Rahel.

34 A Rahel a gymmerasai'r delwau, ac a'u gosodasai hwynt yn offer y camel, ac a eisteddasai arnynt; a Laban a † chwiliodd yr holl babell, ac ni's cafodd.

† Heb. *deimlodd.*

35 A hi a ddywedodd wrth ei thad, Na ddigied fy arglwydd, am na's gallaf gyfodi ger dy fron di; canys arfer gwragedd *a ddigwyddodd* i mi: ac efe a chwiliodd, ac ni chafodd y delwau.

36 ¶ A Jacob a ddigiodd, ac a roes senn i Laban: a Jacob a attebodd ac a ddywedodd wrth Laban, Pa beth *yw* fy nghamwedd i? pa beth *yw* fy mhechod, gan erlid o honot ar fy ol?

‡ Heb. *deimlo.*

37 Gan it' ‡ chwilio fy holl ddodrefn i, pa beth a gefaist o holl ddodrefn dy dŷ di? gosod *ef* yma ger bron fy mrodyr i a'th frodyr dithau, fel y barnant rhyngom ni ein dau.

38 Myfi bellach *a fum* ugain mlynedd gyd â thi; dy ddefaid a'th eifr ni erthylasant, ac ni fwytteais hyrddod dy braidd.

h Ex. 22. 10, &c.

39 h Ni ddygais ysglyfaeth attat ti: myfi a'i gwnawn ef yn dda; o'm llaw i y gofynit hynny, yr hyn a ladratteid y dydd, a'r hyn a ladratteid y nos.

§ *Fel hyn y roeddwn; y dydd y gwres, &c.*

40 § Bûm y dydd, y gwres a'm treuliodd, a rhew y nos; a'm cwsg a giliodd oddi wrth fy llygaid.

41 Felly y bûm i ugain mlynedd yn dy dŷ di: pedair blynedd ar ddeg y gwasanaethais di am dy ddwy ferched, a chwe blynedd am dy braidd: a i thi a newidiaist fy nghyflog ddeg o weithiau.

Adn. 7.

42 Oni buasai *fod* Duw fy nhad, Duw Abraham, ac arswyd Isaac gyd â mi, diau yr awr hon y gollyngasit fi ymaith yn waglaw. Duw a welodd fy nghystudd a llafur fy nwylaw, ac a'th geryddodd *di* neithiwyr.

43 ¶ Laban a attebodd ac a ddywedodd wrth Jacob, Y merched *hyn ydynt* fy merched i, a'r meibion *hyn ynt* fy meibion i, a'r praidd *yw* fy mhraidd i; a'r hyn oll a weli, eiddo fi yw: a heddyw pa beth a wnaf i'm merched hyn, ac i'w meibion hwynt y rhai a esgorasant?

44 Tyred gan hynny yn awr, gwnawn gyfammod mi a thi; a bydded yn dystiolaeth rhyngof fi a thithau.

k Pen. 28. 18.

45 A Jacob k a gymmerth garreg, ac a'i cododd hi yn golofn.

46 Hefyd Jacob a ddywedodd wrth ei frodyr, Cesglwch gerrig: a hwy a gymmerasant gerrig, ac a wnaethant garnedd, ac a fwyttasant yno ar y garnedd.

‖ Sef, *Carnedd y dystiolaeth.*

47 A Laban a'i galwodd hi ‖ Jegar-Sahadutha: a Jacob a'i galwodd hi Galeed.

48 A Laban a ddywedodd, Y garnedd hon sydd dyst rhyngof fi a thithau heddyw: am hynny y galwodd *Jacob* ei henw hi Galeed,

l Barn. 11. 29. ♦ Sef, *Disgwylfa, neu, Dyr gwyliwr.*

49 A l ♦ Mi-pah; oblegid efe a ddywedodd, Gwylied yr ARGLWYDD rhyngof fi a thithau, pan fom ni bob un o olwg ein gilydd.

50 Os gorthrymmi di fy merched, neu os cymmeri wragedd heb law fy merched i; nid *oes neb* gyd â ni, edrych, Duw sydd dyst rhyngof fi a thithau.

51 Dywedodd Laban hefyd wrth Jacob, Wele y garnedd hon, ac wele y golofn hon a osodais rhyngof fi a thi:

52 Tyst *a fydd* y garnedd hon, a thyst *a fydd* y golofn, na ddeuaf fi dros y garnedd hon attat ti, ac na ddoi dithau dros y garnedd hon na'r golofn hon attaf fi, er niweid.

53 Duw Abraham, a Duw Nachor, a farno rhyngom ni, Duw eu tadau hwynt. A Jacob a dyngodd i ofn ei dad Isaac.

‡ Neu, *laddodd.*

54 Hefyd Jacob a ‡ aberthodd aberth yn y mynydd, ac a alwodd ar ei frodyr i fwytta bara: a hwy a fwyttasant fara, ac a drigasant dros nos yn y mynydd.

55 A Laban a gyfododd yn fore, ac a gusanodd ei feibion a'i ferched, ac a'u bendithiodd hwynt: felly Laban a aeth ymaith, ac a ddychwelodd i'w fro ei hun.

## PEN. XXXII.

1 *Gweledigaeth Jacob yn Mahanaim.* 3 *Ei gennadwriaeth at Esau.* 6 *Mae efe yn ofni dyfodiad Esau.* 9 *Yn gweddio am ymwared.* 13 *Yn anfon anrheg i Esau.* 24 *Yn ymdrech ag angel yn Peniel; lle y gelwir ef Israel.* 31 *Mae efe yn cloffi.*

Ioa. 17. P.

A Jacob a gerddodd i'w daith yntau: ac angylion Duw a gyfarfu ag ef. 1739.

2 A Jacob a ddywedodd, pan welodd hwynt, Dyma wersyll Duw; ac a alwodd enw'r lle hwnnw † Mahanaim.

† Sef, *Duy wersyll.*

3 A Jacob a anfonodd genhadau o'i flaen at ei frawd Esau, i wlad Seir, i ‡ wlad Edom.

‡ Heb. *faes.*

4 Ac a orchymynodd iddynt, gan ddywedyd, Fel hyn y dywedwch wrth fy arglwydd Esau; Fel hyn y dywaid dy was di Jacob; Gyd â Laban yr ymdeithiais, ac y trigais hyd yn hyn.

5 Ac y mae i mi eidionnau, ac asynod, defaid, a gweision, a morwynion: ac anfon a wnaethum i fynegu i'm harglwydd, i gael ffafr yn dy olwg.

a Pen. 33. 1

6 ¶ A'r cenhadau a ddychwelasant at Jacob, gan ddywedyd, Daethom at dy frawd Esau; ac a y mae efe yn dyfod i'th gyfarfod di, a phedwar cant o wŷr gyd ag ef.

7 Yna Jacob a ofnodd yn fawr, a chyfyng oedd arno: ac efe a rannodd y bobl *oedd* gyd ag ef, a'r defaid, a'r eidionnau, a'r camelod, yn ddwy fintai;

8 Ac a ddywedodd, Os daw Esau at y naill fintai, a tharaw honno, yna'r fintai arall a fydd ddiangol.

b Pen. 31. 13.

9 ¶ A dywedodd Jacob, O DDUW fy nhad Abraham, a Duw fy nhad Isaac, O ARGLWYDD, yr hwn a ddywedaist wrthyf, b Dychwel i'th wlad, ac at dy genedl, a mi a wnaf ddaioni i ti!

§ Heb. *Llai wyf na'th holl &c.*

10 § Ni ryglyddais y lleiaf o'th holl drugareddau di, nac o'r holl wirionedd a wnaethost â'th was: oblegid â'm ffon y daethum dros yr Iorddonen hon; ond yn awr yr ydwyf yn ddwy fintai.

c Hos. 10. 14. ‖ Heb. *ar y.*

11 Achub fi, attolwg, o law fy mrawd, o law Esau: oblegid yr ydwyf fi yn ei ofni ef, rhag dyfod o hono a'm taraw, c a'r fam ‖ gyd â'r plant.

d Pen. 28. 13, 14.

12 A d thydi a ddywedaist, Gwnaf ddaioni i ti yn ddiau; a'th had di a wnaf fel tywod y môr, yr hwn o amlder ni ellir ei rifo.

13 ¶ Ac yno y llettyodd efe y noson honno: ac o'r hyn a ddaeth i'w law ef y cymmerth efe anrheg i'w frawd Esau;

14 Dau gant o eifr ac ugain o fychod, dau gant o ddefaid, ac ugain o hyrddod,

15 Deg ar hugain o gamelod blithion a'u llydnod, deugain o wartheg, a deg o deirw, ugain o asynod, a deg o ebolion.

16 Ac efe a roddes yn llaw ei weision bob gyrr o'r neilldu; ac a ddywedodd wrth ei weision, Ewch trosodd o'm blaen i, a gosodwch encyd rhwng pob gyrr a'u gilydd.

17 Ac efe a orchymynodd i'r blaenaf, gan ddywedyd, Os Esau fy mrawd a'th gyfarfydd di, ac a ymofyn â thydi, gan ddywedyd, I bwy *y perthyni* di? ac i ba le 'r ai? ac eiddo pwy *yw* y rhai hyn o'th flaen di?

18 Yna y dywedi, Eiddo dy was Jacob; anrheg yw wedi ei hanfon i'm harglwydd Esau: ac wele yntau hefyd ar ein hol ni.

19 Felly y gorchymynodd hefyd i'r ail, ac i'r trydydd, ac i'r rhai oll oedd yn canlyn y gyrroedd, gan ddywedyd, Yn y modd hwn y dywedwch wrth Esau, pan gaffoch afael arno.

20 A dywedwch hefyd, Wele dy was Jacob ar ein hol ni. Oblegid (eb efe) boddlonaf ei wyneb ef â'r anrheg *sydd* yn myned o'm blaen: ac wedi hynny edrychaf yn ei wyneb ef; ond antur efe a dderbyn fy wyneb innau.

21 Felly yr anrheg a aeth trosodd o'i flaen ef: ac efe a lettyodd y noson honno yn y gwersyll.

22 Ac efe a gyfododd y noson honno, ac a gymmerth ei ddwy wragedd, a'i ddwy law-forwyn, a'i un mab ar ddeg, ac a aeth dros rŷd Jabboc.

23 Ac a'u cymmerth hwynt, ac a'u trosglwyddodd trwy 'r afon: felly efe a drosglwyddodd yr hyn *oedd* ganddo.

24 ¶ A Jacob a adawyd ei hunan: yna yr ymdrechodd gwr ag ef nes codi 'r wawr.

25 A phan welodd na byddai drech nag ef, efe a gyffyrddodd â chysswllt ei forddwyd ef; [e] fel y llaesodd cysswllt morddwyd Jacob, wrth ymdrech o hono ag ef.

26 [f] A'r *angel* a ddywedodd, Gollwng fi ymaith; oblegid y wawr a gyfododd. Yntau a attebodd, [g] Ni 'th ollyngaf oni 'm bendithi.

27 Hefyd efe a ddywedodd wrtho, Beth *yw* dy enw? Ac efe a attebodd, Jacob.

28 Yntau a ddywedodd, [h] Mwyach ni elwir dy enw di Jacob, ond Israel: oblegid cefaist nerth gyd â Duw fel tywysog, a chyd â dynion, ac a orchfygaist.

29 A Jacob a ymofynodd, ac a ddywedodd, Mynega attolwg dy enw. Ac yntau a attebodd, I ba beth y gofyni hyn am fy enw i? Ac yno efe a'i bendithiodd ef.

30 A Jacob a alwodd enw y fan † Peniel: oblegid i gwelais Dduw wyneb yn wyneb, a diangodd fy einioes.

31 A'r haul a gyfodasai arno fel yr oedd yn myned dros Penuel, ac yr *oedd* efe yn gloff o'i glun.

32 Am hynny plant Israel ni fwyttânt y gewyn a giliodd, yr hwn *sydd* o fewn cysswllt y forddwyd, hyd y dydd hwn: oblegid cyffwrdd â chysswllt morddwyd Jacob ar y gewyn a giliodd.

[e] Edrych Mat. 26. 41. 2 Cor. 12. 7.
[f] Edrych Luc 24. 28.
[g] Hos. 12. 4.
[h] Pen. 35. 10. 2 Bren. 17. 34.
† Heb. *Pe-nuel; sef, wyneb Duw.*
[i] Pen. 16. 13. Ex. 24. 11. a 33. 20. Deut. 5. 24. Barn. 6. 22. a 13. 22. Es. 6. 5.

## PEN. XXXIII.

Ion. 11. B. 1 *Caredigrwydd Jacob ag Esau wrth gyfarfod.* 17 *Jacob yn dyfod i Succoth;* 18 *yn prynu maes yn Salem, ac yn adeiladu allor, a'i henwi El-Elohe-Israel.*

1739.

A Jacob a ddyrchafodd ei lygaid, ac a edrychodd; ac wele [a] Esau yn dyfod, a phedwar cant o wŷr gyd ag ef: ac efe a rannodd y plant at Leah, ac at Rahel, ac at y ddwy law-forwyn.

[a] Pen. 32. 6.

2 Ac yn mlaen y gosododd efe y ddwy law-forwyn, a'u plant hwy, a Leah a'i phlant hithau yn ol y *rhai hynny*, a Rahel a Joseph yn olaf.

3 Ac yntau a gerddodd o'u blaen hwynt, ac a ymostyngodd i lawr seithwaith, oni ddaeth efe yn agos at ei frawd.

4 Ac Esau a redodd i'w gyfarfod ef, ac a'i cofleidiodd ef, ac a syrthiodd ar ei wddf ef, ac a'i cusanodd ef: a hwy a wylasant.

5 Ac efe a ddyrchafodd ei lygaid, ac a ganfu 'r gwragedd, a'r plant; ac a ddywedodd, Pwy yw y rhai hyn gennyt ti? Yntau a ddywedodd, Y plant a roddes Duw o'i ras i'th was di.

6 Yna y llaw-forwynion a nesasant, hwynthwy a'u plant, ac a ymgrymmasant.

7 A Leah a nesaodd a'i phlant hithau, ac a ymgrymmasant: ac wedi hynny y nesaodd Joseph a Rahel, ac a ymgrymmasant.

8 Ac efe a ddywedodd, Pa beth *yw* gennyt yr holl fintai accw a gyfarfûm i? Yntau a ddywedodd, *Anfonais hwynt* i gael ffafr yngolwg fy arglwydd.

9 Ac Esau a ddywedodd, Y mae gennyf fi ddigon, fy mrawd; bydded i ti yr hyn *sydd* gennyt.

10 A Jacob a ddywedodd, Nag ê; attolwg, os cefais yn awr ffafr yn dy olwg, cymmer fy anrheg o'm llaw i: canys am hynny y gwelais dy wyneb, fel pe gwelswn wyneb Duw, a thi yn foddlon i mi.

11 Cymmer, attolwg, fy mendith, yr hon a ddygpwyd i ti; oblegid Duw a fu raslon i mi, ac am fod gennyf fi ‡ bob peth. Ac efe a fu daer arno: ac yntau a gymmerodd;

12 Ac a ddywedodd, Cychwynwn, ac awn; a mi a af o'th flaen di.

13 Yntau a ddywedodd wrtho, Fy arglwydd a ŵyr mai tyner *yw* 'r plant, a *bod* y praidd a'r gwartheg § blithion gyd â myfi; os gyrrir hwynt un diwrnod yn rhy chwŷrn, marw a wna yr holl braidd.

14 Aed, attolwg, fy arglwydd o flaen ei was; a minnau a ddeuaf yn araf, fel y gallo 'r anifeiliaid *sydd* o'm blaen i, ac y gallo 'r plant, hyd oni ddelwyf at fy arglwydd i Seir.

15 Ac Esau a ddywedodd, ‖ Gadawaf yn awr gyd â thi *rai* o'r bobl *sydd* gyd â mi. Yntau a ddywedodd, I ba beth *y gwnai* hynny? [b] Cafwyf ffafr yngolwg fy arglwydd.

16 ¶ Felly Esau y dydd hwnnw a ddychwelodd ar hŷd ei ffordd ei hun i Seir.

17 A Jacob a gerddodd i Succoth, ac a adeiladodd iddo dŷ, ac a wnaeth fythod i'w anifeiliaid: am hynny efe a alwodd enw y lle † Succoth.

18 ¶ Hefyd Jacob a ddaeth ‡ yn llwyddiannus i ddinas Sichem, yr hon *sydd* yngwlâd Canaan (pan ddaeth efe o § Mesopotamia) ac a wersyllodd o flaen y ddinas.

19 Ac [c] a brynodd ran o'r maes y lledasai ei babell ynddo, o law meibion ‖ Hamor tad Sichem, am † gan darn o arian.

20 Ac a osododd yno allor, ac [d] a'i henwodd ‡ El-Elohe-Israel.

‡ ddigon.
§ cyfloion.
‖ Heb. *Gosodaf.*
[b] Pen. 34. 11.
† *Bythod.*
‡ *i Salem.*
§ *Padan-Aram.*
[c] Jos. 24. 32.
1739.
‖ Act. 7. 16. *Emor.*
† *Neu, cant o ŵyn.*
[d] Pen. 35. 7.
‡ *Sef, Duw, Duw Israel.*

## PEN. XXXIV.

1 *Sichem yn treisio Dinah:* 4 *yn ei gofyn hi yn briod.* 13 *Meibion Jacob yn cynnyg i 'r Sichemiaid ammod yr enwaediad.* 20 *Hemor a Sichem yn eiriol arnynt am ei derbyn.* 25 *Meibion Jacob ar y fantais honno yn eu lladd hwynt,* 27 *ac yn yspeilio eu dinas.* 30 *Jacob yn ceryddu Simeon a Lefi.*

Sul 2 o'r Grawys, P. Ion. 48. P.

Cylch 1732.

A [a] Dinah merch Leah, yr hon a ymddygasai hi i Jacob, a aeth allan i weled merched y wlad.

[a] Pen. 30. 21.

2 A Sichem mab Hemor yr Hefiad, tywysog y wlad, a'i canfu hi, ac a'i cymmerth hi, ac a orweddodd gyd â hi, ac a'i † treisiodd.

† Heb. *darostyngodd.*

3 A'i enaid ef a lynodd wrth Ddinah ferch Jacob; ie efe a hoffodd y llangces, ac a ddywedodd ª wrth *fodd* calon y llangces.

ª Edrych Es. 40. 2. Hos. 2. 14.

4 Sichem hefyd a lefarodd wrth Hemor ei dad, gan ddywedyd, Cymmer y llangces hon yn wraig i mi.

5 A Jacob a glybu i *Sichem* halogi Dinah ei ferch (a'i feibion ef oedd gyd â'i anifeiliaid ef yn y maes) a Jacob a dawodd â son hyd oni ddaethant hwy *adref.*

6 ¶ A Hemor tad Sichem, a aeth allan at Jacob, i ymddiddan ag ef.

7 A meibion Jacob a ddaethant o'r maes, wedi clywed o honynt; a'r gwŷr a ymofidiasant, a digiasant yn ddirfawr, oblegid ᵇ gwneuthur *o Sichem* ffolineb yn Israel, gan orwedd gyd â merch Jacob; canys ni ddylesid gwneuthur felly.

ᵇ Jos. 7. 15.

8 A Hemor a ymddiddanodd â hwynt, gan ddywedyd, Glynu a wnaeth enaid Sichem fy mab i wrth eich merch chwi: rhoddwch hi, attolwg, yn wraig iddo ef.

9 Ac ymgyfathrechwch â ni; rhoddwch eich merched chwi i ni, a chymmerwch ein merched ni i chwithau.

10 A chwi a gewch breswylio gyd â ni, a'r wlad fydd o'ch blaen chwi: trigwch a negeseuwch ynddi, a cheisiwch feddiannau ynddi.

11 Sichem hefyd a ddywedodd wrth ei thad hi, ac wrth ei brodyr, ᶜ Cafwyf ffafr yn eich golwg, a'r hyn a ddywedoch wrthyf a roddaf.

ᶜ Pen. 33. 15.

12 Gosodwch arnaf fi ddirfawr gynhysgaeth a rhodd, a mi a roddaf fel y dywedoch wrthyf: rhoddwch chwithau 'r llangces i mi yn wraig.

13 A meibion Jacob a attebasant Sichem, a Hemor ei dad ef, yn dwyllodrus, ac a ddywedasant, O herwydd iddo ef halogi Dinah eu chwaer hwynt;

14 Ac a ddywedasant wrthynt, Ni allwn wneuthur y peth hyn, gan roddi ein chwaer i wr dienwaededig: oblegid ᵈ gwarthrudd *yw* hynny i ni.

ᵈ Jos. 5. 9.

15 Ond yn hyn y cyttunwn â chwi: Os byddwch fel nyni, gan enwaedu pob gwrryw i chwi;

16 Yna y rhoddwn ein merched ni i chwi, ac y cymmerwn eich merched chwithau i ninnau, a ni a gyd-drigwn â chwi, a ni a fyddwn yn un bobl.

17 Ond oni wrandewch arnom ni i'ch enwaedu; yna y cymmerwn ein merch, ac a awn ymaith.

18 A'u geiriau hwynt oedd dda yngolwg Hemor, ac yngolwg Sichem mab Hemor.

19 Ac nid oedodd y llangc wneuthur y peth, oblegid efe a roddasai serch ar ferch Jacob: ac yr oedd efe yn anrhydeddusach na holl dŷ ei dad.

20 ¶ A Hemor, a Sichem ei fab ef, a aethant i borth eu dinas, ac a lefarasant wrth eu dinasyddion, gan ddywedyd,

21 Y gwŷr hyn heddychol *ynt* hwy gyd â ni; trigant hwythau yn y wlad, a gwnant eu negesau *ynddi*; a'r wlad, wele, sy ddigon ehang iddynt hwy: cymmerwn eu merched hwynt i ni yn wragedd, a rhoddwn ein merched ninnau iddynt hwy.

22 Ond yn hyn y cyttuna 'r dynion â ni, i drigo gyd â ni, ar fod yn un bobl, os enwaedir pob gwrryw i ni, fel y maent hwy yn enwaededig.

23 Eu hanifeiliaid hwynt, a'u cyfoeth hwynt, a'u holl ysgrubliaid hwynt, onid eiddo ni *fyddant* hwy? yn unig cyttunwn â hwynt, a hwy a drigant gyd â ni.

24 Ac ar Hemor, ac ar Sichem ei fab ef, y gwrandawodd pawb a'r a oedd yn dyfod allan o borth ei ddinas ef: ac enwaedwyd pob gwrryw, *sef* y rhai oll oedd yn dyfod allan o borth ei ddinas ef.

25 ¶ A bu ar y trydydd dydd, pan oeddynt hwy yn ddolurus, gymmeryd o ddau o feibion Jacob, Simeon a Lefi, brodyr Dinah, bob un ei gleddyf, a dyfod ar y ddinas yn hyderus, a ᵉ lladd pob gwrryw.

ᵉ Pen. 49. 6.

26 Lladdasant hefyd Hemor a Sichem ei fab â ‡ min y cleddyf; a chymmerasant Ddinah o dŷ Sichem, ac a aethant allan.

‡ Heb. *safn.*

27 Meibion Jacob a ddaethant ar y lladdedigion, ac a yspeiliasant y ddinas, am halogi o honynt eu chwaer hwynt.

28 Cymmerasant eu defaid hwynt, a'u gwartheg, a'u hasynod hwynt, a'r hyn *oedd* yn y ddinas, a'r hyn *oedd* yn y maes,

29 A'u holl gyfoeth hwynt; a'u holl rai bychain, a'u gwragedd, a gaethgludasant hwy; ac yspeiliasant yr hyn oll *oedd* yn y tai.

30 A Jacob a ddywedodd wrth Simeon a Lefi, ᶠ Trallodasoch fi, ᵍ gan beri i mi fod yn ffiaidd gan breswylwŷr y wlad, gan y Canaaneaid, a'r Phereziaid: a minnau yn ychydig o nifer; a hwy a ymgasglant yn fy erbyn, a tharawant fi: felly y difethir fi, mi a'm tŷ.

ᶠ Pen. 49. 6. ᵍ Exod. 5. 21.

31 Hwythau a attebasant, Ai megis puttain y gwnae efe ein chwaer ni?

## PEN. XXXV.

1 *Duw yn anfon Jacob i Bethel.* 2 *Mae efe yn glanhâu ei dŷ o ddelwau;* 6 *yn adeiladu allor yn Bethel.* 8 *Deborah yn marw yn Allonbacuth.* 9 *Duw yn bendithio Jacob yn Bethel.* 16 *Rahel, wrth esgor ar Benjamin, yn marw ar y ffordd i Edar.* 22 *Reuben yn gorwedd gyd â Bilhah.* 23 *Meibion Jacob.* 27 *Jacob yn dyfod at Isaac i Hebron.* 28 *Oedran, marwolaeth, a chladdedigaeth Isaac.*

Ios. 19. B.

A Duw a ddywedodd wrth Jacob, Cyfod, esgyn i Bethel, a thrig yno; a gwna yno allor i DDUW, ª yr hwn a ymddangosodd i ti ᵇ pan ffoaist o ŵydd Esau dy frawd.

Cylch 1732. ª Pen. 28. 13. ᵇ Pen. 27. 43.

2 Yna Jacob a ddywedodd wrth ei deulu, ac wrth y rhai oll *oedd* gyd ag ef, Bwriwch ymaith ᶜ y duwiau dieithr sydd yn eich plith chwi, ac ymlanhêwch, a ᵈ newidiwch eich dillad;

ᶜ Pen. 31. 19. 34. Jos. 24. 2. ᵈ Exod. 19. 10.

3 A chyfodwn, ac esgynwn i Bethel: ac yno y gwnaf allor i DDUW, yr hwn a'm gwrandawodd yn nydd fy nghyfyngder, ac a fu gyd â myfi yn y ffordd a gerddais.

4 A hwy a roddasant at Jacob yr holl dduwiau dieithr y rhai *oedd* yn eu llaw hwynt, a'r clust-dlysau *oedd* yn eu clustiau: a Jacob a'u cuddiodd hwynt dan ᵉ y dderwen *oedd* yn ymyl Sichem.

ᵉ Jos. 24. 26. Barn. 9. 6.

5 A hwy a gychwynasant: ac ᶠ ofn Duw *oedd* ar y dinasoedd y rhai *oedd* o'u hamgylch hwynt, ac nid erlidiasant ar ol meibion Jacob.

ᶠ Ex. 15. 16. a 23. 27. a 34. 24. Deut. 11. 25. Jos. 2. 9. a 5. 1. 1 Sam. 14. 15. 2 Chron. 14. 14.

6 ¶ A Jacob a ddaeth i Luz, yngwlâd Canaan, hon *yw* Bethel, efe a'r holl bobl y rhai *oedd* gyd ag ef;

7 Ac a adeiladodd yno allor, ac ᵍ a enwodd y lle † El-bethel, oblegid yno yr ymddangosasai Duw iddo ef, pan ffoisai efe o ŵydd ei frawd.

ᵍ Pen. 28. 19. † Sef, *Duw Bethel.*

h Pen. 24. 59. 8 A h marw a wnaeth Deborah mam-
maeth Rebeccah; a hi a gladdwyd is law
Bethel, dan dderwen: a galwyd enw honno
† Sef, *Derwen wylofain.* † Allon-bacuth.
9 ¶ Hefyd i Duw a ymddangosodd eil-
i Hos. 12. 5. waith i Jacob, pan ddaeth efe o ‡ Mesopo-
‡ *Padan-Aram.* tamia; ac a'i bendithiodd ef.
10 A Duw a ddywedodd wrtho, Dy enw
di *yw* Jacob: ni elwir dy enw di Jacob
k Pen. 32. 28. mwy, onid k Israel a fydd dy enw di: ac
efe a alwodd ei enw ef Israel.
11 Hefyd Duw a ddywedodd wrtho,
l Pen. 17. 1. a 48. 3. l Myfi *yw* Duw Hollalluog: cynnydda, ac
m Pen. 17. 5, 6, 16. a 28. 3. a 48. 4. amlhâ: m cenedl a chynnulleidfa cenhedl-
oedd a fydd o honot ti; a brenhinoedd a
ddaw allan o'th lwynau di.
12 A'r wlad n yr hon a roddais i Abraham,
n Pen. 12. 7. a 13. 15. a 26. 3, 4. ac i Isaac, a roddaf i ti, ac i'th had ar dy ol
di y rhoddaf y wlad.
13 A Duw a esgynodd oddi wrtho ef, yn
y fan lle y llefarasai efe wrtho.
o Pen. 28. 18. 14 A Jacob o a osododd golofn yn y fan
lle 'r ymddiddanasai efe ag ef, *sef* colofn
faen: ac efe a dywalltodd arni ddiodoffrwm,
ac a dywalltodd olew arni.
15 A Jacob a alwodd enw y fan lle 'r
p Pen. 28. 19. ymddiddanodd Duw ag ef, p Bethel.
16 ¶ A hwy a aethant ymaith o Bethel;
§ Neu, *ychydig ffordd.* ac yr oedd etto § megis milltir o dir i ddyfod
i Ephrath: yno 'r esgorodd Rahel, a bu
& Br. 5. 19. galed *arni* wrth esgor.
17 A darfu pan oedd galed *arni* wrth
esgor, i'r fydwraig ddywedyd wrthi hi, Nac
ofna; oblegid dyma hefyd i ti fab.
18 Darfu hefyd, wrth ymadael o'i henaid
|| Sef, *Mab fy ngalar.* hi (oblegid marw a wnaeth hi) iddi alw
ei enw ef || Ben-oni: ond ei dad a'i henw-
Cylch 1729. odd ef † Benjamin.
19 A q Rahel a fu farw, ac a gladdwyd yn
† Sef, *Mab y ddeheulaw.* y ffordd i r Ephrath; hon *yw* Bethlehem.
20 A Jacob a osododd golofn ar ei bedd hi:
honno *yw* colofn bedd Rahel s hyd heddyw.
q Pen. 48. 7. 21 Yna Israel a gerddodd, ac a ledodd ei
babell o'r tu hwnt i t ‡ Migdal-Edar.
r Ruth 1. 2. a 4. 11. 22 A phan ydoedd Israel yn trigo yn y
s 1 Sam. 10. 2. wlad honno, yna Reuben a aeth ac u a or-
weddodd gyd â Bilhah gordderch-wraig ei
t Mic. 4. 8. dad; a chlybu Israel *hynny.* Yna meibion
‡ *Twr Edar.* Jacob oeddynt ddeuddeg.
23 Meibion Leah; x Reuben cyntaf-
u Pen. 49. 4. 1 Chron. 5. 1. Edrych 2 Sam. 16. 22. a 10. 3. 1 Cor. 5. 1. anedig Jacob, a Simeon, a Lefi, a Judah, ac
Issachar, a Zabulon.
24 Meibion Rahel; Joseph, a Benjamin.
25 A meibion Bilhah, llaw-forwyn Rahel;
Dan, a Naphtali.
26 A meibion Zilpah, llaw-forwyn Leah;
x Pen. 46. 8. Ex. 1. 2. Gad, ac Aser. Dyma feibion Jacob, y rhai
a anwyd iddo ym Mesopotamia.
27 ¶ A Jacob a ddaeth at Isaac ei dad i
y Pen. 13. 18. a 23. 2. y Mamre, i Gaer-Arba, hon *yw* Hebron,
lle 'r ymdeithiasai Abraham ac Isaac.
1716. 28 A dyddiau Isaac *oedd* gan mlynedd a
phedwar ugain mlynedd.
z Pen. 15. 15. a 25. 8. 29 Ac Isaac a drengodd, ac a fu farw, ac z a
gasglwyd at ei bobl, yn hen, ac yn gyflawn
a Pen. 49. 31. o ddyddiau: a'i feibion, Esau a Jacob, a a'i
claddasant ef.

## PEN. XXXVI.

*2 Tair gwragedd Esau. 6 Ei symmudiad ef i fynydd Seir. 9 Ei feibion. 15 Y duciaid a ddaethant o'u feibion ef. 20 Meibion a duciaid Seir. 24 Anah yn cael mulod. 31 Brenhinoedd Edom. 40 Y duciaid a ddaethant o Esau.*

Cylch 1746. A Dyma genhedlaethau Esau: efe *yw*
Edom.
2 a Esau a gymmerth ei wragedd o ferch- a Pen. 26. 34.
ed Canaan; Adah, merch Elon yr Hethiad,
ac b Aholibamah, merch Anah, merch Sibeon b Ad. 25.
yr Hefiad:
3 c Basemath hefyd, merch Ismael, chwaer Cylch
Nebaioth. 1760.
4 Ac d Adah a ymddûg Eliphaz i Esau: a c Pen. 28. 9.
Basemath a esgorodd ar Reuel.
5 Aholibamah hefyd a esgorodd ar Jeus, d 1 Chron. 1. 35.
a Jalam, a Chorah: dyma feibion Esau, y
rhai a anwyd iddo yngwlâd Canaan. Cylch
6 Ac Esau a gymmerodd ei wragedd, a'i 1740.
feibion, a'i ferched, a holl † ddynion ei dŷ, † Heb. *eneidiau.*
a'i anifeiliaid, a'i holl ysgrubliaid, a'i holl
gyfoeth a gasglasai efe yngwlâd Canaan; ac
a aeth ymaith i'r wlad, o ŵydd ei frawd
Jacob.
7 e Oblegid eu cyfoeth hwynt oedd fwy e Pen. 13. 6. 11.
nag y gallynt gyd-drigo: ac f ni's gallai f Pen. 17. 8. a 28. 4.
gwlad eu hymdaith eu cynnwys hwynt, gan
eu hanifeiliaid.
8 Felly y trigodd Esau ym g mynydd g Jos. 24. 4.
Seir: Esau *yw* Edom.
9 ¶ A dyma genhedlaethau Esau tad ‡ yr ‡ Heb. *Edom.*
Edomiaid ym mynydd Seir.
10 Dyma enwau meibion Esau: h Eli- h 1 Chron. 1. 35, &c.
phaz, mab Adah gwraig Esau; Reuel, mab
Basemath gwraig Esau.
11 A meibion Eliphaz oedd Teman,
Omar, § Sepho, a Gatam, a Chenaz. § *Sephi,* 1 Chron. 1. 36.
12 A Thimna oedd ordderch-wraig i Eli-
phaz, mab Esau, ac a esgorodd Amalec
i Eliphaz: dyma feibion Adah gwraig
Esau.
13 A dyma feibion Reuel; Nahath a
Zerah, Sammah a Mizzah: y rhai hyn oedd
feibion Basemath gwraig Esau.
14 ¶ Hefyd y rhai hyn oedd feibion Aho-
libamah merch Anah, merch Sibeon gwraig
Esau: a hi a ymddûg i Esau, Jeus, a Jalam,
a Chorah.
15 ¶ Dyma dduciaid o feibion Esau; Cylch
meibion Eliphaz cyntaf-anedig Esau, duc 1716.
Teman, duc Omar, duc Sepho, duc Cenaz,
16 Duc Corah, duc Gatam, duc Amalec:
dyma 'r duciaid o Eliphaz, yngwlâd Edom:
dyma feibion Adah.
17 ¶ A dyma feibion Reuel mab Esau;
duc Nahath, duc Zerah, duc Sammah, duc
Mizzah: dyma 'r duciaid o Reuel, yngwlâd
Edom: dyma feibion Basemath gwraig
Esau.
18 ¶ Dyma hefyd feibion Aholibamah
gwraig Esau: duc Jeus, duc Jalam, duc
Corah: dyma 'r duciaid o Aholibamah,
merch Anah, gwraig Esau.
19 Dyma feibion Esau (hwn yw Edom)
a dyma eu duciaid hwynt.
20 ¶ i Dyma feibion Seir yr Horiad, Cylch
cyfanneddwyr y wlad; Lotan, a Sobal, a 1840.
Sibeon, ac Anah, i 1 Chron. 1. 38.
21 A Dison, ac Eser, a Disan: a dyma
dduciaid yr Horiaid, meibion Seir, yngwlâd
Edom.
22 A meibion Lotan oedd Hori, a || He- || *Homam,* 1 Chron. 1. 39.
mam: a chwaer Lotan *oedd* Timna.
23 A dyma feibion Sobal; † Alfan, a † *Alian,* 1 Chron. 1. 40.
Manahath, ac Ebal, Sepho, ac Onam.
24 A dyma feibion Sibeon; Aiah, ac
Anah: hwn yw Anah a gafodd k y mulod k Edrych Lef. 19. 19.
yn yr anialwch wrth borthi asynod Sibeon
ei dad.
25 A dyma feibion Anah; Dison, ac A-
holibamah merch Anah.
26 Dyma hefyd feibion Dison; ‡ Hem- ‡ *Amram* 1 Chron. 1. 41.
dan, ac Esban, ac Ithran, a Cheran.

27 Dyma feibion Eser; Bilhan, a Zaafan, ac † Acan.

† *Jacan,* 1 Chron. 1. 42.

28 Dyma feibion Disan; Us, ac Aran.

29 Dyma dduciaid yr Horiaid; duc Lotan, duc Sobal, duc Sibeon, duc Anah.

Cylch 1780.

30 Duc Dison, duc Eser, duc Disan. Dyma dduciaid yr Horiaid, ym mhlith eu duciaid yngwlâd Seir.

31 ¶ [l] Dyma hefyd y brenhinoedd a deyrnasasant yngwlâd Edom, cyn teyrnasu brenhin ar feibion Israel.

l 1 Chron. 1. 43.

32 A Bela, mab Beor, a deyrnasodd yn Edom: ac enw ei ddinas ef *oedd* Dinhabah.

Cylch 1676.

33 A Bela a fu farw; a Jobab, mab Serah o Bosrah, a deyrnasodd yn ei le ef.

34 Jobab hefyd a fu farw; a Husam, o wlad Temani, a deyrnasodd yn ei le ef.

35 A bu Husam farw; a Hadad, mab Bedad, yr hwn a darawodd Midian ym maes Moab, a deyrnasodd yn ei le ef: ac enw ei ddinas ef *oedd* Afith.

36 Marw hefyd a wnaeth Hadad; a Samlah, o Masrecah, a deyrnasodd yn ei le ef.

37 A bu Samlah farw; a Saul, o Rehoboth *wrth* yr afon, a deyrnasodd yn ei le ef.

38 A bu Saul farw; a Baalhanan, mab Achbor, a deyrnasodd yn ei le ef.

39 A bu Baalhanan, mab Achbor, farw; a ‡ Hadar a deyrnasodd yn ei le ef: ac enw ei ddinas ef *oedd* Pau; ac enw ei wraig Mehetabel, merch Matred, merch Mezahab.

‡ *Hadad, a Pai,* 1 Chron. 1. 50.

40 A dyma enwau 'r [m] duciaid o Esau, yn ol eu teuluoedd, wrth eu trigleoedd, erbyn eu henwau; duc Timna, duc § Alfah, duc Jetheth,

Cylch 1496.
m 1 Chron. 1. 51.
§ Neu, *Alia.*

41 Duc Aholibamah, duc Elah, duc Pinon,

42 Duc Cenaz, duc Teman, duc Mibsar,

43 Duc Magdiel, duc Iram. Dyma 'r duciaid o Edom, yn ol eu preswylfeydd, yngwlâd eu perchenogaeth: dyma Esau, tad || yr Edomiaid.

|| Heb. *Edom.*

## PEN. XXXVII.

Lon. 19. P.

*2 Joseph yn cael ei gasâu gan ei frodyr. 5 Ei ddau freuddwyd ef. 13 Jacob yn ei anfon ef i ymweled â'i frodyr. 18 Hwythau yn cydfwriadu ei ladd ef. 21 Reuben yn ei achub ef. 26 Hwynt yn ei werthu ef i'r Ismaeliaid. 31 Ei dad, wedi ei siommi trwy'r siacced waedlyd, yn galaru am dano ef. 36 Ei werthu ef i Putiphar yn yr Aipht.*

A Thrigodd Jacob yngwlâd [a] ymdaith ei dad, yngwlâd Canaan.

a Pen. 36. 7. Heb. 11. 9.
1729.

2 Dyma genhedlaethau Jacob. Joseph, yn fab dwy flwydd ar bymtheg, oedd fugail gyd â'i frodyr ar y praidd: a'r llangc oedd gyd â meibion Bilhah, a chyd â meibion Zilpah, gwragedd ei dad; a Joseph a ddygodd eu drygair hwynt at eu tad.

3 Ac Israel oedd hoffach ganddo Joseph na'i holl feibion; oblegid efe oedd fab ei henaint ef: ac efe a wnaeth siacced † fraith iddo ef.

† Heb. *c amryw d larnau,*

4 A phan welodd ei frodyr fod eu tad yn ei garu ef yn fwy na'i holl frodyr, [b] hwy a'i casasant ef, ac ni fedrent ymddiddan *ag* ef yn heddychol.

b Pen. 49. 23.

5 ¶ A Joseph a freuddwydiodd freuddwyd, ac a'i mynegodd i'w frodyr: a hwy a'i casasant ef etto yn ychwaneg.

6 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Gwrandêwch, attolwg, ar y breuddwyd hwn a freuddwydiais i.

7 Ac [c] wele, rhwymo ysgubau 'r oeddym ni ynghanol y maes; ac wele, fy ysgub i a gyfododd, ac a safodd hefyd; ac wele, eich ysgubau chwi a safasant o amgylch, ac a ymgrymmasant i'm hysgub i.

c Pen. 42. 6, 9. a 43. 26. a 44. 14.

8 A'i frodyr a ddywedasant wrtho, Ai gan deyrnasu y teyrnesi arnom ni? ai gan arglwyddiaethu 'r arglwyddiaethi arnom ni? A hwy a chwanegasant etto ei gasâu ef, oblegid ei freuddwydion, ac oblegid ei eiriau.

9 ¶ Hefyd efe a freuddwydiodd etto freuddwyd arall, ac a'i mynegodd i'w frodyr, ac a ddywedodd, Wele, breuddwydiais freuddwyd etto; ac wele [d] yr haul, a'r lleuad, a'r un seren ar ddeg, yn ymgrymmu i mi.

d Pen. 46. 29.

10 Ac efe a'i mynegodd i'w dad, ac i'w frodyr. A'i dad a feiodd arno, ac a ddywedodd wrtho, Pa freuddwyd yw hwn a freuddwydiaist ti? Ai gan ddyfod y deuwn ni, mi, a'th fam, a'th frodyr, i ymgrymmu i lawr i ti?

11 [e] A'i frodyr a gynfigennasant wrtho ef; ond ei dad [f] a ddaliodd ar y peth.

e Act. 7. 9.
f Dan. 7. 28. Luc 2. 19, 51.

12 ¶ A'i frodyr a aethant i fugeilia praidd eu tad, yn Sichem.

13 Ac Israel a ddywedodd wrth Joseph, Onid *yw* dy frodyr yn bugeilio yn Sichem? Tyred, a mi a'th anfonaf attynt. Yntau a ddywedodd wrtho, Wele fi.

Cylch 1729.

14 A dywedodd wrtho, Dos weithian, edrych ‡ *pa* lwyddiant *sydd* i'th frodyr, a *pha* lwyddiant *sydd* i'r praidd; a dwg eilchwyl air i mi. Felly efe a'i hanfonodd ef o ddyffryn Hebron; ac efe a ddaeth i Sichem.

‡ Heb. *heddwch dy frodyr*

15 ¶ A chyfarfu gwr ag ef; ac wele efe yn crwydro yn y maes: a'r gwr a ymofynodd *ag* ef, gan ddywedyd, Pa beth yr wyt ti yn ei geisio?

16 Yntau a ddywedodd, Ceisio fy mrodyr yr ydwyf fi; mynega, attolwg, i mi, pa le y maent hwy yn bugeilio?

17 A'r gwr a ddywedodd, Hwy a aethant oddi ymma; oblegid mi a'u clywais hwy yn dywedyd, Awn i Ddothan. A Joseph a aeth ar ol ei frodyr, ac a'u cafodd hwynt [g] yn Dothan.

g 2 Bren. 6. 13.

18 Hwythau a'i canfuant ef o bell; a chyn ei ddynesu ef attynt, hwy a gyd-fwriadasant *yn* ei *erbyn* ef, i'w ladd ef.

19 A dywedasant wrth eu gilydd, Wele y § breuddwydiwr yn dyfod.

§ Heb. *meistr breuddwydion.*

20 Deuwch gan hynny yn awr, a lladdwn ef, a thaflwn ef yn un o'r pydewau; a dywedwn, Bwystfil drwg a'i bwyttaodd ef: yna y cawn weled beth a ddaw o'i freuddwydion ef.

21 A [h] Reuben a glybu, ac a'i hachubodd ef o'u llaw hwynt; ac a ddywedodd, Na laddwn ef.

h Pen. 42. 22.

22 Reuben a ddywedodd hefyd wrthynt, Na thywelltwch waed; bwriwch ef i'r pydew hwn *sydd* yn yr anialwch, ac nac estynwch law arno: fel yr achubai ef o'u llaw hwynt, i'w ddwyn eilwaith at ei dad.

23 ¶ A bu, pan ddaeth Joseph at ei frodyr, iddynt ddiosg ei siacced oddi am Joseph, *sef* y siacced fraith *ydoedd* am dano ef.

24 A chymmerasant ef, a thaflasant i bydew: a'r pydew *oedd* wag heb ddwfr ynddo.

25 A hwy a eisteddasant i fwytta bwyd; ac a ddyrchafasant eu llygaid, ac a edrychasant, ac wele fintai o [i] Ismaeliaid yn dyfod o Gilead, yn myned i wared i'r Aipht, a'u camelod yn dwyn llysiau, a [k] balm, a myrr.

i Adn. 28, 36.
k Jer. 8, 22.

26 A dywedodd Judah wrth ei frodyr, Pa lesâd a *fydd* os lladdwn ein brawd, a chelu ei waed ef?

27 Deuwch, a gwerthwn ef i'r Ismaeliaid,
ac na fydded ein llaw ni arno ef; oblegid
ein brawd ni a'n cnawd ydyw efe. A'i fro-
† Heb. wrandawsant. dyr a † gyttunasant.
28 A phan ddaeth y marchnadwŷr o Mi-
dian heibio, y tynnasant ac y cyfodasant
l Psal. 105. 17. Doeth. 10. 13. Joseph i fynu o'r pydew, ac [l] a werthasant
Joseph i'r Ismaeliaid er [m] ugain *darn* o ari-
au: hwythau a ddygasant Joseph i'r Aipht.
Act. 7. 9. 29 ¶ A Reuben a ddaeth eilwaith at y
m Edr. Mat. 27. 9. pydew; ac wele nid *ydoedd* Joseph yn y py-
n Job 1. 20. dew: ac yntau [n] a rwygodd ei ddillad;
30 Ac a ddychwelodd at ei frodyr, ac a
ddywedodd, Y llangc nid yw acw; a min-
nau, i ba le 'r af fi.
31 A hwy a gymmerasant siacced Joseph,
ac a laddasant fynn gafr, ac a drochasant y
siacced yn y gwaed.
32 Ac a'a anfonasant y siacced fraith, ac
a'i dygasant at eu tad, ac a ddywedasant,
Hon a gawsom: mynn wybod yn awr, ai
siacced dy fab *yw* hi, ai nad ê.
33 Yntau a'i hadnabu hi, ac a ddywed-
o Pen. 44. 28. odd, Siacced fy mab *yw hi;* [o] bwystfil drwg
a'i bwyttaodd ef: gan larpio y llarpiwyd
Joseph.
34 A Jacob a rwygodd ei ddillad, ac a
osododd sachlen am ei lwynau, ac a alarodd
am ei fab ddyddiau lawer.
35 A'i holl feibion, a'i holl ferched, a
godasant i'w gysuro ef; ond efe a wrthododd
p Pen. 42. 38. a 44. 29, 31. gymmeryd cysur, ac a ddywedodd, [p] Yn
ddïau disgynaf yn alarus at fy mab i'r
beddrod: a'i dad a wylodd *am dano* ef.
q Pen. 39. 1. 36 [q] A'r Midianiaid a'i gwerthasant ef
‡ swyddog i Pharaoh. i'r Aipht, i Putiphar ‡ tywysog Pharaoh, *a'r*
distain.

## PEN. XXXVIII.

Ion. 20. B. 1 *Judah yn cenhedlu Er, Onan, a Selah.* 6
*Er yn priodi Tamar.* 8 *Camwedd Onan.*
11 *Tamar yn aros am Selah;* 16 *yn siommi*
*Judah,* 27 *ac yn dwyn gefelliaid, Phares*
*a Zarah.*

Cylch 1720. AC yn y cyfamser hwnnw, y darfu i Judah
fyned i wared oddi wrth ei frodyr, a
throi at wr o Adulam, a'i enw Hirah.
2 Ac yno y canfu Judah ferch gwr o Ca-
a 1 Chron. 2, 3. naan, a'i enw ef *oedd* [a] Suah; ac a'i cym-
merodd hi, ac a aeth atti hi.
3 A hi a feichiogodd, ac a esgorodd ar
b Num. 26. 19. fab; ac efe a alwodd ei enw ef [b] Er.
Cylch 1727. 4 A hi a feichiogodd eilwaith, ac a esgo-
rodd ar fab; a hi a alwodd ei enw ef Onan.
5 A thrachefn hi a esgorodd ar fab, ac a
c Num. 26. 20. alwodd ei enw ef [c] Selah. Ac yn Cezib yr
oedd efe pan esgorodd hi ar hwn.
6 A Judah a gymmerth wraig i Er, ei
gyntaf-anedig, a'i henw Tamar.
7 Ac yr oedd Er, cyntaf-anedig Judah,
yn ddrygionus yngolwg yr ARGLWYDD;
a'r ARGLWYDD a'i lladdodd ef.
8 A Judah a ddywedodd wrth Onan,
d Deut. 25. 5. Dos at [d] wraig dy frawd, a phriöda hi, a
chyfod had i'th frawd.
9 Ac Onan a wybu nad iddo ei hun y
byddai 'r had: a phan elai efe at wraig ei
frawd, yna y collai efe ei *had* ar y llawr,
rhag rhoddi o hono had i'w frawd.
10 A drygionus oedd yr hyn a wnaethai
efe yngolwg yr ARGLWYDD: am hynny
efe a'i lladdodd yntau.
11 Yna Judah a ddywedodd wrth Tamar
ei waudd, Trig yn weddw *yn* nhŷ dy dad,
hyd oni chynnyddo fy mab Selah: (oblegid
efe a ddywedodd, Rhag ei farw yntau fel ei

frodyr.) A Thamar a aeth, ac a drigodd *yn*
nhŷ ei thad.
12 ¶ Ac wedi llawer o ddyddiau, marw a
wnaeth merch Suah, gwraig Judah: a Judah
a gymmerth gysur, ac a aeth i fynu i Tim-
nath, at gneifwŷr ei ddefaid, efe a'i gyfaill
Hirah yr Adulamiad.
13 Mynegwyd hefyd i Tamar, gan ddy-
wedyd, Wele dy † chwegrwn yn myned i † dad yng-nghyfraith.
fynu i Timnath, i gneifio ei ddefaid.
14 Hithau a ddïosgodd ddillad ei gweddw-
dod oddi am dani, ac a'i cuddiodd ei hun â
gorchudd, ac a ymwisgodd, ac a eisteddodd
yn nrws ‡ Enaim, yr hwn *sydd* ar y ffordd i ‡ mewn lle amlwg.
Timnath: oblegid gweled yr oedd hi fyned
Selah yn fawr, ac na roddasid hi yn wraig
iddo ef.
15 A Judah a'i canfu hi, ac a dybiodd
mai puttain ydoedd hi; oblegid gorchuddio
o honi ei hwyneb.
16 Ac efe a drodd atti hi i'r ffordd, ac a
ddywedodd, Tyred, attolwg, gad i mi ddyfod
attat: (oblegid nid oedd efe yn gwybod mai
ei § waudd ef *ydoedd* hi.) Hithau a ddywed- § ferch ynghyfraith.
odd, Beth a roddi i mi, os cai ddyfod attaf?
17 Yntau a ddywedodd, Mi a hebryngaf
fynn gafr || o *blith* y praidd. Hithau a ddywed- || o'r ddiadell.
odd, A roddi di wystl hyd oni hebryngech?
18 Yntau a ddywedodd, Pa wystl a roddaf
i ti? Hithau a ddywedodd, Dy sel, a'th
freichledau, a'th ffon *sydd* yn dy law. Ac
efe a'u rhoddes iddi, ac a aeth atti; a hi a
feichiogodd o hono ef.
19 Yna y cyfododd hi, ac a aeth ymaith,
ac a ddïosgodd ei gorchudd oddi am dani,
ac a wisgodd ddillad ei gweddwdod.
20 A Judah a hebryngodd fynn gafr yn llaw
'r Adulamiad ei gyfaill, i gymmeryd y gwystl
o law y wraig: ond ni chafodd *hwnnw* hi.
21 Ac efe a ymofynodd â gwŷr y fro
honno, gan ddywedyd, Pa le *y mae* 'r but-
tain honno a ydoedd yn † Enaim wrth y † Neu, yr amlwg.
ffordd? A hwythau a ddywedasant, Nid
oedd yma *un* buttain.
22 Ac efe a ddychwelodd at Judah ac a
ddywedodd, Ni chefais hi; a gwŷr y fro
honno hefyd a ddywedasant, Nid oedd yma
*un* buttain.
23 A Judah a ddywedodd, Cymmered
iddi hi, rhag i ni ‡ gael cywilydd: wele, mi ‡ Heb. fod yn ddirmyg
a hebryngais y mynn hwn, a thithau ni
chefaist hi.
24 ¶ Ac ynghylch pen tri mis y myneg-
wyd i Judah, gan ddywedyd, Tamar dy
waudd di a butteiniodd; ac wele hi a feichi-
iogodd hefyd mewn godineb. A dywedodd
Judah, Dygwch hi allan, a llosger hi.
25 Yna hi (pan ddygwyd hi allan) a
anfonodd at ei chwegrwn, gan ddywedyd,
O'r gwr bïau y rhai hyn yr ydwyf fi yn
feichiog: hefyd hi a ddywedodd, Adnebydd,
attolwg, eiddo pwy *yw* y sel, a'r breichledau,
a'r ffon yma.
26 A Judah a adnabu '*r pethau hynny,* ac
a ddywedodd, Cyfiawnach yw hi nâ myfi; o
herwydd na roddais hi i'm mab Selah: ac ni
bu iddo ef a wnaeth â hi mwy.
27 ¶ Ac yn amser ei hesgoredigaeth hi,
wele efelliaid yn ei chroth hi.
28 Bu hefyd pan esgorodd hi, i *un* roddi
*allan* ei law: a'r fydwraig a gymmerth ac
a rwymodd am ei law ef *edau* goch, gan
ddywedyd, Hwn a ddaeth yn gyntaf allan. § Neu, Pa ham y
29 A phan dynnodd efe ei law yn ei hol,
yna wele ei frawd ef a ddaeth allan: a
hithau a ddywedodd, § Pa fodd y torraist

† Sef, Torriad. allan? bid y torriad hwn arnat ti: am hynny
y galwyd ei enw ef † [e] Phares.
[e] 1 Chron. 2. 4. Mat. 1. 3. 30 Ac wedi hynny ei frawd ef a ddaeth
allan, yr hwn *yr oedd yr edau* goch am ei
law: a galwyd ei enw ef Zarah.

## PEN. XXXIX.

Sul 3 o'r Grawys, B. Ion. 20. B. 1 *Codiad Joseph yn nhŷ Putiphar.* 7 *Ei
feistres yn ei demtio ef, ac yntau yn ei
gwrthwynebu hi.* 13 *Achwyn arno ef ar
gam.* 19 *Ei fwrw ef yngharchar;* 21 *a
Duw gyd ag ef yno.*

1729. A Joseph a ddygwyd i wared i'r Aipht: a
[a] Pen. 37. 36. Psal. 105. 17. [a] Putiphar yr Aiphtwr, tywysog Pharaoh
a'i ddistain, a'i prynodd ef o law 'r Ismael-
iaid, y rhai a'i dygasant ef i wared yno.
[b] Act. 21. 1 Sam. 16. 18. a 18. 28. Act. 7. 9. 2 Ac [b] yr oedd yr ARGLWYDD gyd â
Joseph, ac efe oedd wr llwyddiannus: ac yr
oedd efe yn nhŷ ei feistr yr Aiphtiad.
3 A'i feistr a welodd fod yr ARGLWYDD
gyd ag ef, a bod yr ARGLWYDD yn llwyddo
yn ei law ef yr hyn oll a wnelai efe.
4 A Joseph a gafodd ffafr yn ei olwg ef,
ac a'i gwasanaethodd ef: yntau a'i gwnaeth
ef yn olygwr ar ei dŷ, ac a roddes *yr hyn* oll
oedd eiddo dan ei law ef.
[c] Pen. 30. 27. 5 Ac er pan wnaethai efe ef yn olygwr ar
ei dŷ, ac ar yr hyn oll *oedd* eiddo, [c] bu i'r
ARGLWYDD fendithio tŷ 'r Aiphtiad, er
mwyn Joseph: ac yr oedd bendith yr AR-
GLWYDD ar yr hyn oll oedd eiddo ef, yn
y tŷ, ac yn y maes.
6 Ac efe a adawodd yr hyn oll *oedd*
ganddo dan law Joseph; ac ni wyddai oddi
wrth ddim a'r *a oedd* gyd ag ef, oddieithr y
bwyd yr oedd efe yn ei fwytta: Joseph he-
fyd oedd dêg o bryd, a glân yr olwg.
7 ¶ A darfu wedi 'r pethau hynny, i wraig
ei feistr ef ddyrchafu ei golwg ar Joseph, a
dywedyd, Gorwedd gyd â mi.
8 Yntau a wrthododd, ac a ddywedodd
wrth wraig ei feistr, Wele, fy meistr ni ŵyr
pa beth *sydd* gyd â mi yn y tŷ; rhoddes
hefyd yr hyn oll *sydd* eiddo dan fy llaw i.
9 Nid oes *neb* fwy yn y tŷ hwn nâ myfi;
ac ni waharddodd efe ddim rhagof onid
tydi; oblegid ei wraig ef *wyt* ti: pa fodd,
gan hynny, y gallaf wneuthur y mawrddrwg
[d] Pen. 20. 6. Lef. 6. 2. Psal. 51. 4. hwn, a [d] phechu yn erbyn DUW!
10 A bu, fel yr oedd hi yn dywedyd wrth
Joseph beunydd, ac yntau heb wrandaw arni
hi, i orwedd yn ei hymyl hi, neu i fod gyd
â hi.
11 A bu, ynghylch yr amser hwnnw, i
Joseph ddyfod i'r tŷ, i wneuthur ei orchwyl;
ac nid *oedd* yr un o ddynion y tŷ yno yn tŷ.
12 Hithau a'i daliodd ef erbyn ei wisg,
gan ddywedyd, Gorwedd gyd â mi. Yntau
a adawodd ei wisg yn ei llaw hi, ac a ffodd,
ac a aeth allan.
13 A phan welodd hi adael o hono ef ei
wisg yn ei llaw hi, a ffoi o hono allan;
14 Yna hi a alwodd ar ddynion ei thŷ,
ac a draethodd wrthynt, gan ddywedyd,
Gwelwch, efe a ddug i ni Hebrëwr i'n gwa-
radwyddo: daeth attaf fi i orwedd gyd â
‡ Heb. fawr. myfi; minnau a waeddais â llef ‡ uchel.
15 A phan glywodd efe ddyrchafu o honof
fi fy llef, a gweiddi; yna efe a adawodd ei
wisg yn fy ymyl i, ac a ffodd, ac a aeth allan.
16 A hi a osododd ei wisg ef yn ei hymyl,
hyd oni ddaeth ei feistr ef adref.
17 A hi a lefarodd wrtho yn y modd hyn,
gan ddywedyd, Yr Hebrëwas, yr hwn a
ddygaist i ni, a ddaeth attaf i'm gwara-
dwyddo.

18 Ond pan ddyrchefais fy llef, a gweiddi,
yna efe a adawodd ei wisg yn fy ymyl, ac a
ffodd allan.
19 A phan glybu ei feistr ef eiriau ei
wraig, y rhai a lefarodd hi wrtho ef, gan
ddywedyd, Yn y modd hwn y gwnaeth dy
was di i mi; yna yr enynnodd ei lid ef.
20 A meistr Joseph a'i cymmerth ef, ac
[e] a'i rhoddes yn [f] y carchardy, yn y lle yr [e] Psal. 105. 18.
oedd carcharorion y brenhin yn rhwym. Ac
yno y bu efe yn y carchardy. [f] Edrych Pen. 40. 15. a 41. 14.
21 ¶ Ond yr ARGLWYDD oedd gyd â Jo-
seph, ac a ddangosodd iddo ef § drugaredd,
ac [g] a roddes ffafr iddo yngolwg pennaeth y § Neu, garedigrwydd.
carchardy.
22 A phennaeth y carchardy a roddes dan [g] Ex. 3. 21. a 11. 3. a 12. 36. Psal. 106. 46.
law Joseph yr holl garcharorion y rhai *oedd*
yn y carchardy; a pha beth bynnag a
wnaent yno, efe oedd yn ei wneuthur.
23 Nid *oedd* pennaeth y carchardy yn Di. 16. 7. Dan. 1. 9.
edrych am ddim oll *a'r a oedd* dan ei law ef,
am *fod* yr ARGLWYDD gyd ag ef; a'r hyn
a wnai efe, yr ARGLWYDD a'i llwyddai.

## PEN. XL.

1 *Bwtler a phobydd Pharaoh yngharchar,* 4 Ion. 21. B.
*dan siars Joseph.* 5 *Efe yn deongli eu
breuddwydion hwy;* 20 *a'r rhai hynny yn
dyfod i ben yn ol ei ddeongliad ef.* 23
*Anniolchgarwch y bwtler.*

A Darfu wedi 'r pethau hynny, i † drull- Cylch 1720.
iad brenhin yr Aipht, a'r pobydd, bechu † *bwtler.*
yn erbyn eu harglwydd, brenhin yr Aipht.
2 A Pharaoh a lidiodd wrth ei ddau swydd-
wr, *sef* wrth y pen-trulliad, a'r pen-pobydd:
3 Ac a'u rhoddes hwynt mewn dalfa, yn
nhŷ 'r distain, *sef* yn y carchardy, y lle 'r
oedd Joseph yn rhwym.
4 A'r distain a wnaeth Joseph yn olygwr
arnynt hwy; ac efe a'u gwasanaethodd
hwynt: a buont mewn dalfa dros amser.
5 ¶ A breuddwydiasant freuddwyd ill 1718.
dau, pob un ei freuddwyd ei hun yn yr un
nos, pob un ar ol deongliad ei freuddwyd ei
hun, trulliad a phobydd brenhin yr Aipht,
y rhai oedd yn rhwym yn y carchardy.
6 A'r bore y daeth Joseph attynt, ac a
edrychodd arnynt; ac wele hwynt yn athrist.
7 Ac efe a ymofynodd â swyddwŷr Pha-
raoh, y rhai *oedd* gyd ag ef mewn dalfa yn
nhŷ ei arglwydd, gan ddywedyd, Paham y
*mae* eich ‡ wynebau yn ddrwg heddyw? ‡ *golygon mor athrist.*
8 A dywedasant wrtho, Breuddwydiasom
freuddwyd, ac nid *oes* a'i deonglo. A Joseph
a ddywedodd wrthynt, [a] Onid i DDUW y [a] Edrych Pen. 41. 16. Dan. 2. 11, 28.
*perthyn* deongli? mynegwch, attolwg, i mi.
9 A'r pen-trulliad a fynegodd ei freudd-
wyd i Joseph; ac a ddywedodd wrtho, Yn
fy mreuddwyd *yr oeddwn,* ac wele win-
wŷdden o'm blaen.
10 Ac yn y winwŷdden *yr oedd* tair
caingc: ac *yr oedd* hi megis yn blaen-darddu;
ei blodeuyn a dorrasai allan, ei grawnsypiau
hi a ddug rawnwin addfed.
11 Hefyd *yr oedd* cwppan Pharaoh yn fy
llaw: a chymmerais y grawnwin, a gwesgais
hwynt i gwppan Pharaoh; a rhoddais y
cwppan yn llaw Pharaoh.
12 A Joseph a ddywedodd wrtho, Dyma
ei ddeongliad ef. Tri diwrnod yw y tair
caingc.
13 O fewn tri diwrnod etto Pharaoh [b] a [b] 2 Br. 25. 27.
§ ddyrchafa dy ben di, ac a'th rydd di eil-
waith yn dy le; a rhoddi gwppan Pharaoh § Neu, *gofia.*
yn ei law ef, fel y buost arferol yn y cyntaf,
pan oeddyt drulliad iddo.

*† meddylia arnaf fi.*
14 Etto † cofia fi gyd â thi, pan fo daioni i ti, a gwna, attolwg, â mi drugaredd, a chofia fi wrth Pharaoh, a dwg fi allan o'r tŷ hwn.

15 Oblegid yn lladrad y'm lladrattawyd o wlad yr Hebreaid; ac yma hefyd ni wneuthum ddim, fel y bwrient fi yngharchar.

16 Pan welodd y pen-pobydd mai da oedd y deongliad, efe a ddywedodd wrth Joseph, Minnau hefyd *oeddwn* yn fy mreuddwyd; ac wele, dri chawell ‡ rhwyd-dyllog ar fy mhen.

*‡ Neu, gwynion.*
17 Ac yn y cawell uchaf *yr oedd* peth o bob bwyd Pharaoh o waith pobydd; a'r ehediaid yn eu bwytta hwynt o'r cawell oddi ar fy mhen.

18 A Joseph a attebodd, ac a ddywedodd, Dyma ei ddeongliad ef. Tri diwrnod yw y tri chawell.

*§ cyfrif.*
19 O fewn tri diwrnod etto y § cymmer Pharaoh dy ben di oddi arnat, ac a'th groga di ar bren; a'r ehediaid a fwyttânt dy gnawd di oddi am danat.

20 ¶ Ac ar y trydydd dydd yr oedd dydd genedigaeth Pharaoh; ac efe [c] a wnaeth wledd i'w holl weision: ac efe a ‖ ddyrchafodd ben y pen-trulliad, a'r pen-pobydd ym mysg ei weision.

[c] Mar. 6. 21.
*‖ Neu, cyfrifodd.*

21 Ac a osododd y pen-trulliad eilwaith yn ei swydd; ac yntau a roddes y cwppan i law Pharaoh.

22 A'r pen-pobydd a grogodd efe; fel y deonglasai Joseph iddynt hwy.

23 Ond y pen-trulliad ni chofiodd Joseph, eithr anghofiodd ef.

PEN. XLI.

Ion. 21. P.
1 *Dau freuddwyd Pharaoh.* 25 *Joseph yn eu deongli hwy:* 33 *yn rhoddi cynger i Pharaoh.* 38 *Codiad Joseph.* 50 *Mae efe yn cenhedlu Manasseh ac Ephraim.* 54 *Y newyn yn dechreu.*

1715.
YNA ym mhen dwy flynedd lawn, y bu i Pharaoh freuddwydio; ac wele efe yn sefyll wrth yr afon.

2 Ac wele, yn esgyn o'r afon, saith o wartheg teg yr olwg, a thewion o gig; ac mewn gweirglodd-dir y porent.

3 Wele hefyd, saith o wartheg eraill yn esgyn ar eu hol hwynt o'r afon, yn ddrwg yr olwg, ac yn gulion o gig; a hwy a safasant yn ymyl y gwartheg *eraill*, ar lann yr afon.

4 A'r gwartheg drwg yr olwg, a chulion o gig, a fwyttasant y saith gwartheg teg yr olwg, a breision. Yna y dihunodd Pharaoh.

5 Ac efe a gysgodd, ac a freuddwydiodd eilwaith: ac wele, saith o dywysenau yn tyfu ar un gorsen, o *rai* † breisgion a da.

*† Heb. breision.*

6 Wele hefyd, saith o dywysenau teneuon, ac wedi deifio gan wŷnt y dwyrain, yn tarddu allan ar eu hol hwynt.

7 A'r tywŷsenau teneuon a lyngcasant y saith dywysen fraisg, a llawn. A deffrôdd Pharaoh; ac wele breuddwyd *oedd.*

8 A'r bore y bu i'w yspryd ef gynhyrfu; ac [a] efe a anfonodd, ac a alwodd am holl ddewiniaid yr Aipht a'i holl ddoethion hi: a Pharaoh a fynegodd iddynt hwy ei freuddwydion; ond nid *oedd* a'u deonglai hwynt i Pharaoh.

[a] Dan. 2. 2.

9 ¶ Yna y llefarodd y pen-trulliad wrth Pharaoh, gan ddywedyd, Yr wyf fi yn cofio fy meiau heddyw.

10 Llidio a wnaethai Pharaoh wrth ei weision; ac efe a'm rhoddes mewn carchar *yn* nhŷ 'r distain, myfi a'r pen-pobydd.

11 A ni a freuddwydiasom freuddwyd yn yr un nos, mi ac efe: breuddwydiasom [b] bob un ar ol deongliad ei freuddwyd.

[b] Pen. 40. 5.

12 Ac *yr oedd* yno gyd â nyni fab ieuangc o Hebread, gwas i'r distain; a ni a fynegasom iddo ef: yntau [c] a ddeonglodd i ni ein breuddwydion; i bob un yn ol ei freuddwyd y deonglodd efe.

[c] Pen. 40. 12, &c.

13 A darfu, fel y deonglodd i ni, felly y bu: rhodd fi eilwaith i'm swydd; ac yntau a grogodd efe.

14 ¶ [d] Pharaoh, gan hynny, a anfonodd ac a alwodd am Joseph: hwythau ar redeg a'i cyrchasant ef o'r carchar: yntau a eilliodd *ei wallt*, ac a newidiodd ei ddillad, ac a ddaeth at Pharaoh. 1715.

[d] Psal. 105. 20.

15 A Pharaoh a ddywedodd wrth Joseph, Breuddwydiais freuddwyd, ac nid *oes* a'i deonglo: a myfi a glywais ddywedyd am danat ti, y medri ‡ ddeall breuddwyd i'w ddeongli.

*‡ Heb. wrando.*

16 A Joseph a attebodd Pharaoh, gan ddywedyd, Nid myfi; Duw a ettyb lwyddiant i Pharaoh.

17 A Pharaoh a ddywedodd wrth Joseph, Wele fi yn fy mreuddwyd yn sefyll ar fin yr afon.

18 Ac wele 'n esgyn o'r afon saith o wartheg tewion o gig, a theg yr olwg; ac mewn gweirglodd-dir y porent.

19 Wele hefyd saith o wartheg eraill yn esgyn ar eu hol hwynt, truain, a drwg iawn yr olwg, ac yn gulion o gig: ni welais rai cynddrwg â hwynt yn holl dir yr Aipht.

20 A'r gwartheg culion a drwg a fwyttasant y saith muwch tewion cyntaf.

21 Ac er eu myned i'w boliau, ni wyddid iddynt fyned i'w boliau; ond yr olwg arnynt oedd ddrwg, megis yn y dechreuad. Yna mi a ddeffroais.

22 Gwelais hefyd yn fy mreuddwyd, ac wele saith dywysen llawn a theg, yn cyfodi o'r un gorsen.

23 Ac wele saith o dywys § mân, teneuon, wedi deifio *gan* ddwyrein-wynt, yn tyfu ar eu hol hwynt.

*§ gwywedig.*

24 A'r tywysenau teneuon a lyngcasant y saith dywysen dda: a mi a ddywedais *hyn* wrth y dewiniaid; ond nid oedd a'i deonglai i mi.

25 ¶ A dywedodd Joseph wrth Pharaoh, Breuddwyd Pharaoh sydd un: yr hyn y mae Duw yn ei wneuthur a fynegodd efe i Pharaoh.

26 Y saith o wartheg teg, saith mlynedd ydynt; a'r saith dywysen dêg, saith mlynedd ydynt: y breuddwyd un *yw.*

27 Hefyd y saith muwch culion a drwg, y rhai *oedd* yn esgyn ar eu hol hwynt, saith mlynedd *ydynt*; a'r saith dywysen wag wedi deifio *gan* y dwyrein-wynt, a fyddant [e] saith mlynedd o newyn.

[e] 2 Br. 8. 1.

28 Hyn yw'r peth a ddywedais i wrth Pharaoh: Yr hyn a wna Duw, efe a'i danggosodd i Pharaoh.

29 Wele, y mae saith mlynedd yn dyfod o amldra mawr, trwy holl wlad yr Aipht.

30 Ond ar eu hol hwynt y cyfyd saith mlynedd o newyn; ac anghofir yr holl amlder trwy wlad yr Aipht: a'r newyn a ddifetha 'r wlad.

31 Ac ni wybyddir *oddi wrth* yr amldra yn y wlad, o herwydd y newyn hwnnw wedi hynny: oblegid ‖ trwm iawn fydd.

*‖ blin.*

32 Hefyd am ddyblu 'r breuddwyd i Pharaoh ddwywaith, *hynny a fu* oblegid † sicrhâu 'r peth gan Dduw, a bod Duw yn brysio i'w wneuthur.

*† Neu, darparu.*

33 Yn awr, gan hynny, edryched Pharaoh

am wr deallgar a doeth, a gosoded ef ar wlad
yr Aipht.
† *swydd-* 34 Gwnaed Pharaoh hyn, a gosoded † olyg-
*ogion.* wyr ar y wlad, a chymmered bummed ran
*cnwd* gwlad yr Aipht dros saith mlynedd yr
amldra.
35 A chasglant holl ymborth y blynydd-
oedd daionus sy ar ddyfod, a chasglant ŷd
dan law Pharaoh, a chadwant ymborth yn y
dinasoedd.
36 A bydded yr ymborth ynghadw i'r
wlad dros y saith mlynedd newyn, y rhai
‡ Neu, fyddant yngwlâd yr Aipht, fel na ‡ ddife-
*thorrer* ther y wlad gan y newyn.
*ymaith.* 37 ¶ A'r peth oedd dda yngolwg Pharaoh,
ac yngolwg ei holl weision.
38 A dywedodd Pharaoh wrth ei weision,
f Num. 27. A gaem ni wr fel hwn, f yr hwn *y mae*
18. ysbryd Duw ynddo?
Dan. 5. 11. 39 Dywedodd Pharaoh hefyd wrth Joseph,
Gan wneuthur o Dduw i ti wybod hyn oll,
nid mor ddeallgar a doeth neb â thydi.
g Psal. 105. 40 g Tydi a fyddi ar fy nhŷ, ac wrth dy
21. air di y § llywodraethir fy mhobl oll: *yn* y
1 Mac. 2. deyrn-gadair yn unig y byddaf fwy nâ thydi.
53.
Act. 7. 10. 41 Yna y dywedodd Pharaoh wrth Joseph,
§ Heb. Edrych, gosodais di ar holl wlad yr Aipht.
*arfogir,* 42 A h thynnodd Pharaoh ei fodrwy oddi
neu, *cusa-* ar ei law, ac a'i rhoddes hi ar law Joseph,
*na.*
h Est. 3. 10. ac a'i gwisgodd ef mewn gwisgoedd ‖ sidan,
a 8. 2, 8. ac i a osododd gadwyn aur am ei wddf ef;
‖ Neu, 43 Ac a wnaeth iddo farchogaeth yn yr
*lliain* ail cerbyd *oedd* gantho, a llefwyd o'i flaen
*main.*
i Dan. 5. 7, ef, † Abrec: felly y gosodwyd ef ar holl
29. wlad yr Aipht.
† Sef, 44 Dywedodd Pharaoh hefyd wrth Joseph,
*Plygwch* Myfi *yw* Pharaoh, ac hebot ti ni chyfyd gwr
*y glin,* neu, *Tad y* ei law na 'i droed, trwy holl wlad yr Aipht.
*brenhin,* Pen. 45. 8. 45 A Pharaoh a alwodd enw Joseph, Saph-
nath-Paaneah; ac a roddes iddo Asnath,
‡ Neu, merch Potipherah ‡ offeiriad On, yn wraig:
*tywysog.* yna yr aeth Joseph allan dros wlad yr
Aipht.
Cylch 46 ¶ A Joseph *ydoedd* fab dengmlwydd
1715. ar hugain pan safodd efe ger bron Pharaoh
brenhin yr Aipht: a Joseph a aeth allan o
wydd Pharaoh, ac a dramwyodd trwy holl
wlad yr Aipht.
47 A'r ddaear a gnydiodd dros saith mly-
nedd yr amldra yn ddyrneidiau.
48 Yntau a gasglodd holl ymborth y saith
mlynedd a fu yngwlâd yr Aipht, ac a roddes
ymborth i gadw yn y dinasoedd: ymborth
y maes yr hwn *fyddai* o amgylch pob dinas,
a roddes efe i gadw ynddi.
49 A Joseph a gynhullodd ŷd fel tywod y
môr, yn dra-lliosog, hyd oni pheidiodd â'i
rifo: oblegid *yr ydoedd* heb rifedi.
50 Ond cyn dyfod blwyddyn o newyn,
k Pen. 46. k y ganwyd i Joseph ddau fab, y rhai a
20. a 48. 5. ymddûg Asnath, merch Potipherah offeiriad
On, iddo ef.
Cylch 51 A Joseph a alwodd enw ei gyntafane-
1712. dig, § Manasseh: Oblegid (*eb efe*) Duw
§ Sef, a wnaeth i mi anghofio fy llafur oll, a thy-
*Anghofio.* lwyth fy nhad oll.
Cylch 52 Ac efe a alwodd enw'r ail, ‖ Ephraim:
1711. Oblegid (*eb efe*) Duw a'm ffrwythlonodd i
‖ Sef, yngwlâd fy ngorthrymder.
*Ffrwyth-* 53 ¶ Darfu 'r saith mlynedd o amldra, y
*lon.* rhai a fu yngwlâd yr Aipht.
1708. 54 l A'r saith mlynedd newyn a ddechreu-
l Psal. 105. asant ddyfod, fel y dywedasai Joseph: ac
16. yr oedd newyn yn yr holl wledydd; ond yn
holl wlad yr Aipht yr ydoedd bara.
55 A phan newynodd holl wlad yr Aipht,
y bobl a waeddodd ar Pharaoh am fara: a
Pharaoh a ddywedodd wrth yr holl Aipht-
iaid, Ewch at Joseph; yr hyn a ddywedo
efe wrthych, gwnewch.
56 Y newyn hefyd ydoedd ar holl wyneb
y ddaear: a Joseph a agorodd yr holl *leoedd*
yr *ydoedd ŷd* ynddynt, ac a werthodd i'r
Aiphtiaid; oblegid y newyn oedd drwm
yngwlâd yr Aipht.
57 A daeth yr holl wledydd i'r Aipht at
Joseph i brynu; o herwydd y newyn oedd
drwm yn yr holl wledydd.

## PEN. XLII.

1 *Jacob yn anfon ei ddeg mab i'r Aipht i* Sul 3 o'r
*brynu ŷd.* 6 *Joseph yn eu carcharu hwy* Grawys, P.
*yn lle ysbïwŷr:* 18 *ac yn eu rhyddhâu* Ion. 22. B.
*hwy, dan ammod iddynt ddwyn Benjamin.*
21 *Eu cydwybod yn eu cyhuddo hwy o*
*achos Joseph.* 24 *Cadw Simeon yn wystl.*
25 *Hwynt yn dychwelyd ag ŷd, a'u harian*
*yn eu sachau;* 29 *ac yn traethu 'r new-*
*yddion i Jacob.* 36 *Jacob yn gwrthod dan-*
*fon Benjamin.*

PAN welodd a Jacob fod ŷd yn yr Aipht, 1708.
dywedodd Jacob wrth ei feibion, Pa a Act. 7. 12.
ham yr edrychwch ar eich gilydd?
2 Dywedodd hefyd, Wele, clywais fod
ŷd yn yr Aipht: ewch i wared yno, a
phrynwch i ni oddi yno; fel y bom b fyw, b Pen. 43. 8
ac na byddom feirw. Psal. 118.
17.
3 ¶ A deg brodyr Joseph a aethant i wa- Es. 38. 1.
red, i brynu ŷd, i'r Aipht.
4 Ond ni ollyngai Jacob Benjamin, brawd
Joseph, gyd â'i frodyr: oblegid efe a ddy-
wedodd, Rhag digwydd niweid iddo ef.
5 A meibion Israel a ddaethant i brynu
ym mhlith y rhai oedd yn dyfod; oblegid
yr ydoedd y newyn yngwlâd Canaan.
6 A Joseph oedd lywydd ar y wlad, ac
oedd ei hun yn gwerthu i holl bobl y wlad:
a brodyr Joseph a ddaethant, ac c a ym- c Pen. 37. 7.
grymmasant i lawr iddo ef *ar eu* hwynebau.
7 A Joseph a ganfu ei frodyr, ac a'u had-
nabu hwynt, ac a ymddïeithrodd iddynt
hwy, ac a lefarodd wrthynt yn † arw, ac a † Heb.
ddywedodd wrthynt, O ba le y daethoch? *galed.*
Hwythau a attebasant, O wlad Canaan, i
brynu lluniaeth.
8 A Joseph oedd yn adnabod ei frodyr;
ond nid oeddynt hwy yn ei adnabod ef.
9 A Joseph d a gofiodd ei freuddwydion d Pen. 37. 5.
a freuddwydiasai efe am danynt hwy; ac a
ddywedodd wrthynt, Ysbïwŷr *ydych* chwi:
i edrych noethder y wlad y daethoch.
10 Hwythau a ddywedasant wrtho ef,
Nag ê, fy arglwydd; onid dy weision a
ddaethant i brynu lluniaeth.
11 Nyni oll *ydym* feibion un gwr: *gwŷr*
cywir *ydym* ni; nid yw dy weision di
ysbïwŷr.
12 Yntau a ddywedodd wrthynt hwy,
Nag ê; onid i edrych noethder y wlad y
daethoch.
13 Hwythau a ddywedasant, Dy weision
di *oedd* ddeuddeng mrodyr, meibion un gwr
yngwlâd Canaan: ac wele, *y mae* 'r ieuangaf
heddyw gyd â'n tad ni, a'r llall e nid yw *fyw.* e Galar. 5.
14 A Joseph a ddywedodd wrthynt, Dy- 7.
ma 'r hyn a adroddais wrthych, gan ddy- Edrych
wedyd, Ysbïwŷr *ydych* chwi. Pen. 44. 20.
15 Wrth hyn y'ch profir: f Myn einioes f Edrych
Pharaoh, *nid* ewch allan oddi yma, onid trwy 1 Sam. 1.
ddyfod o'ch brawd ieuangaf yma. 26. a 17. 55.
16 Hebryngwch un o honoch i gyrchu ‡ *chadwer*
eich brawd, a ‡ rhwymer chwithau; fel y *chwithau*
*yngharchar.*

profer eich geiriau chwi, *a oes* gwirionedd
ynoch: oblegid onid e (myn einioes Pha-
raoh) ysbïwŷr yn ddiau *ydych* chwi.
† Heb. *casglodd.* 17 Ac efe a'u † rhoddodd hwynt i gŷd
yngharchar dridiau.
18 Ac ar y trydydd dydd y dywedodd
Joseph wrthynt, Gwnewch hyn, fel y bydd-
g Neh. 5. 15. och fyw: [g] ofni Duw 'r wyf fi.
19 Os gwŷr cywir *ydych* chwi, rhwymer
un o'ch brodyr chwi yn eich carchardy; ac
ewch chwithau, dygwch ŷd *rhag* newyn
i'ch tylwyth.
h Pen. 43. 5. a 44. 23. 20 A [h] dygwch eich brawd ieuangaf attaf
fi: felly y cywirir eich geiriau chwi, ac ni
byddwch feirw. Hwythau a wnaethant
felly.
21 ¶ Ac a ddywedasant wrth eu gilydd,
Dïau bechu o honom yn erbyn ein brawd;
oblegid gweled a wnaethom gyfyngdra ei
enaid ef, pan ymbiliodd efe â ni, ac ni
wrandawsom ef: am hynny y daeth y cyf-
yngdra hwn arnom ni.
22 A Reuben a'u hattebodd hwynt, gan
i Pen. 37. 21. ddywedyd, [i] Oni ddywedais i wrthych,
gan ddywedyd, Na phechwch yn erbyn yr
herlod; ac ni wrandawech chwi? wele am
hynny ynte y gofynir ei waed ef.
23 Ac ni's gwyddynt hwy fod Joseph yn
‡ *ei fod yn siarad wrthynt drwy gyf-ieithydd.* eu deall; am ‡ *fod* cyfieithydd rhyngddynt.
24 Yntau a drodd oddi wrthynt, ac a
wylodd; ac a ddaeth eilchwyl attynt, ac a
lefarodd wrthynt hwy, ac a gymmerth o'u
mysg hwynt Simeon, ac a'i rhwymodd ef o
flaen eu llygaid hwynt.
25 ¶ Joseph hefyd a orchymynodd lenwi
eu sachau hwynt o ŷd, a rhoddi drachefn
arian pob un *o honynt* yn ei sach, a rhoddi
bwyd iddynt i'w fwytta ar y ffordd: ac felly
y gwnaeth iddynt hwy.
26 Hwythau a gyfodasant eu hŷd ar eu
hasynod, ac a aethant oddi yno.
k Edrych Pen. 43. 21. 27 Ac [k] un a agorodd ei sach, ar fedr
rhoddi ebran i'w asyn yn y lletty; ac a
ganfu ei arian: canys wele hwynt yngenau
ei ffettan ef.
28 Ac a ddywedodd wrth ei frodyr, Rhodd-
wyd adref fy arian; ac wele *hwynt* hefyd
yn fy ffettan: yna y digalonasant hwy, ac a
ofnasant, gan ddywedyd wrth eu gilydd, Pa
ham y gwnaeth Duw i ni hyn?
29 ¶ A hwy a ddaethant at Jacob eu tad
i wlad Canaan; ac a fynegasant iddo ef eu
holl ddamweiniau, gan ddywedyd,
30 Dywedodd y gwr *oedd* arglwydd y
§ Heb. *caled.* wlad yn § arw wrthym ni, ac a'n cymmerth
ni fel ysbïwŷr y wlad.
31 Ninnau a ddywedasom wrtho ef, Gwŷr
cywir *ydym* ni; nid ysbïwŷr ydym.
32 Deuddeg o frodyr *oeddym* ni, meibion ein
tad ni: un nid *yw fyw*, ac *y mae* 'r ieuangaf
heddyw gyd â'n tad ni yngwlad Canaan.
33 A dywedodd y gwr oedd arglwydd y
wlad wrthym ni, Wrth hyn y caf wybod
mai cywir *ydych* chwi; gadewch gyd â myfi
un o'ch brodyr, a chymmerwch *luniaeth*
*i dorri* newyn eich teuluoedd, ac ewch
ymaith.
34 A dygwch eich brawd ieuangaf attaf
fi, fel y gwybyddwyf nad ysbïwŷr *ydych*
chwi, ond *eich bod* yn gywir: *yna* y rhoddaf
eich brawd i chwi, a chewch farchnatta yn
y wlad.
35 ¶ Fel yr oeddynt hwy yn tywallt eu
sachau, yna wele godaid arian pob un yn
ei sach: a phan welsant y codau arian,
hwynt-hwy a'u tad, ofni a wnaethant.

36 A Jacob, eu tad hwynt, a ddywedodd
wrthynt hwy, Diblantasoch fi: Joseph nid
*yw fyw*, a Simeon yntau nid *yw fyw*, a
Benjamin a ddygech ymaith: yn fy erbyn
i y mae hyn oll.
37 A dywedodd Reuben wrth ei dad, gan
ddywedyd, Lladd fy nau fab i, oni ddyg-
af ef drachefn attat ti: dyro ef yn fy llaw
i, a mi a'i dygaf ef attat ti eilwaith.
38 Yntau a ddywedodd, Nid â fy mab i
wared gyd â chwi: oblegid bu farw ei
frawd, ac yntau a adawyd ei hunan: [l] pe l Pen. 44. 29.
digwyddai iddo ef niweid ar y ffordd yr
ewch ar hŷd-ddi, yna chwi [m] a barech i'm m Pen. 37. 35. a 44. 31.
penwynni ddisgyn i'r bedd mewn tristwch.

## PEN. XLIII.

1 *Jacob yn flin gantho ollwng Benjamin.* 15 Sul 4 o'r Grawys, B.
*Joseph yn croesawu ei frodyr.* 31 *Yn*
*gwneuthur iddynt wledd.* Ion. 22. P.
 1707.

A'R newyn *oedd* drwm yn y wlad.
2 A bu wedi iddynt fwytta 'r ŷd a
ddygasent o'r Aipht, ddywedyd o'u tad
wrthynt hwy, Ewch eilwaith, prynwch i
ni ychydig luniaeth.
3 A Judah a attebodd, gan ddywedyd, Gan
rybuddio y rhybuddiodd y gwr nyni, gan
ddywedyd, Nac edrychwch *yn* fy wyneb,
oni bydd eich [a] brawd gyd â chwi. a Pen. 42. 20. a 44. 23.
4 Os anfoni ein brawd gyd â ni, ni a awn
i wared, ac a brynwn i ti luniaeth.
5 Ond os ti nid anfoni, nid awn i wared:
oblegid y gwr a ddywedodd wrthym ni,
Nac edrychwch *yn* fy wyneb, oni bydd eich
brawd gyd â chwi.
6 Ac Israel a ddywedodd, Pa ham y
drygasoch fi, gan fynegi i'r gwr *fod* i chwi
etto frawd?
7 Hwythau a ddywedasant, Gan ymofyn
yr ymofynodd y gwr am danom ni, ac am
ein cenedl, gan ddywedyd, Ai byw eich tad
chwi etto? Oes frawd *arall* i chwi? Ninnau
a ddywedasom wrtho ef ar ol y geiriau hyn-
ny: a allem ni gan wybod wybod y dywedai
efe, Dygwch eich brawd i wared?
8 Judah a ddywedodd hefyd wrth ei dad
Israel, Gollwng y bachgen gyd â mi, nin-
nau a gyfodwn ac a awn ymaith; fel y
byddom byw, ac na byddom feirw, nyni, a
thithau, a'n plant hefyd.
9 Myfi a fechnïaf am dano ef; o'm llaw
i y gofyni ef: [b] oni's dygaf ef attat ti, a'i b Pen. 44. 32.
osod ef ger dy fron di, yna y byddaf euog o
fai i'th erbyn byth.
10 Canys, pe na buasem hwyrfrydig, daeth-
em eilchwyl yma ddwy waith bellach.
11 Ac Israel eu tad a ddywedodd wrthynt,
Os rhaid yn awr felly, gwnewch hyn; cym-
merwch o ddewis ffrwythau 'r wlad yn eich
llestri, a dygwch yn anrheg i'r gwr, ychydig
falm, ac ychydig fel, llysiau, a myrr, cnau,
ac almonau.
12 Cymmerwch hefyd ddau cymmaint o
arian gyd â chwi; a dygwch eilwaith gyd â
chwi yr arian a roddwyd drachefn yngen-
au eich sachau: ond odid amryfusedd *fu*
hynny.
13 Hefyd cymmerwch eich brawd, a
chyfodwch, ewch eilwaith at y gwr.
14 A Duw hollalluog a roddo i chwi dru-
garedd ger bron y gwr, fel y gollyngo i chwi
eich brawd arall, a Benjamin: † minnau fel † Edrych Esth. 4. 16.
y'm diblantwyd, a ddiblentir.
15 ¶ A'r gwŷr a gymmerasant yr anrheg
honno, a chymmerasant arian yn ddwbl yn
eu llaw, a Benjamin *hefyd*; a chyfodasant, ac

a aethant i wared i'r Aipht, a safasant ger
bron Joseph.
16 A Joseph a ganfu Benjamin gyd â
hwynt; ac a ddywedodd wrth yr hwn *oedd*
*olygwr* ar ei dŷ, Dwg y gwŷr hyn i'r tŷ, a
lladd laddfa, ac arlwya: oblegid y gwŷr a
† *giniawa.* gant † fwytta gyd â myfi ar hanner dydd.
17 A'r gwr a wnaeth fel y dywedodd Jo-
seph: a'r gwr a ddug y dynion i dŷ Joseph.
18 A'r gwŷr a ofnasant, pan ddygpwyd
hwynt i dŷ Joseph; ac a ddywedasant,
Oblegid yr arian a roddwyd eilwaith yn ein
sachau ni yr amser cyntaf, y dygpwyd nyni
‡ Heb. i mewn; i ‡ fwrw hyn arnom ni, ac i ruthro
*ymdreiglo.* i ni, ac i'n cymmeryd ni yn gaethion, a'n
hasynod hefyd.
19 A hwy a nesasant at y gwr *oedd olygwr*
ar dŷ Joseph, ac a lefarasant wrtho, wrth
ddrws y tŷ,
20 Ac a ddywedasant, Fy arglwydd,
c Pen. 42. 3. c gan ddisgyn y disgynasom yr amser cyn-
taf, i brynu lluniaeth.
d Pen. 42. 21 A d bu, pan ddaethom i'r lletty, ac
27, 35. agoryd ein sachau, yna wele arian pob un
yngenau ei sach; ein harian ni, *meddaf,* yn
ei bwys: ond ni a'i dygasom eilwaith yn ein
llaw.
22 Dygasom hefyd arian arall i wared yn
ein llaw, i brynu lluniaeth: ni's gwyddom
pwy a osododd ein harian ni yn ein ffet-
tanau.
23 Yntau a ddywedodd, Heddwch iwch';
nac ofnwch: eich Duw chwi, a Duw eich
tad, a roddes i chwi drysor yn eich sachau;
§ *mi gefais* § daeth eich arian chwi attaf fi. Ac efe a
*eich ar-* ddug Simeon allan attynt hwy.
*ian.* 24 A'r gwr a ddug y dynion i dŷ Joseph,
e Pen. 18. ac a e roddes ddwfr, a hwy a olchasant eu
4. a 24. 32. traed; ac efe a roddes ebran i'w hasynod
hwynt.
25 Hwythau a barottoisant eu hanrheg er-
byn dyfod Joseph ar hanner dydd: oblegid
clywsent mai yno y bwyttaent fara.
26 ¶ Pan ddaeth Joseph i'r tŷ, hwythau
a ddygasant iddo ef yr anrheg *oedd* ganddynt
f Pen. 37. i'r tŷ, ac f a ymgrymmasant iddo ef hyd
7, 10. lawr.
‖ Heb. 27 Yntau a ofynodd iddynt am eu ‖ hie-
*heddwch.* chyd, ac a ddywedodd, † Ai iach yr hen wr
† Heb. eich tad chwi, g yr hwn y soniasoch *am*
*Oes hedd-* *dano?* ai byw efe etto?
*wch i'r.*
g Pen. 42. 28 Hwythau a ddywedasant, Iach yw dy
11, 13. was, ein tad ni; byw *yw* efe etto. Yna yr
ymgrymmasant, ac yr ymostyngasant.
29 Yntau a ddyrchafodd ei lygaid, ac a
ganfu ei frawd Benjamin, mab ei fam ei
hun; ac a ddywedodd, Ai dyma 'ch brawd
h Pen. 42. ieuangaf chwi, h am yr hwn y dywedasoch
13. wrthyf fi? Yna y dywedodd, Duw a roddo
ras i ti, fy mab.
30 A Joseph a frysiodd (oblegid cyn-
nesasai ei ymysgaroedd ef tu ag at ei
frawd) ac a geisiodd *le* i wylo; ac a aeth i
mewn i'r ystafell, ac a wylodd yno.
31 Gwedi hynny efe a olchodd ei wyneb,
ac a ddaeth allan, ac a ymattaliodd, ac a
ddywedodd, Gosodwch fara.
32 Hwythau a osodasant *fwyd* iddo ef
wrtho ei hun, ac iddynt hwy wrthynt eu
hun, ac i'r Aiphtiaid y rhai oedd yn bwytta
gyd ag ef wrthynt eu hunain: oblegid ni
allai 'r Aiphtiaid fwytta bara gyd â'r He-
i Pen. 46. breaid; o herwydd i ffieidd-dra oedd hynny
34. gan yr Aiphtiaid.
33 Yna 'r eisteddasant ger ei fron ef, y
cyntaf-anedig yn ol ei gyntaf enedigaeth, a'r
ieuangaf yn ol ei ieuengctid: a rhyfeddodd
y gwŷr bob un wrth eu gilydd. ‡ *yr ym-*
34 Yntau a gymmerodd seigiau oddi ger *lawen-*
ei fron ei hun iddynt hwy: a mwy ydoedd *hasant.*
saig Benjamin o bum rhan nâ seigiau 'r un o k Edrych
honynt oll. Felly 'r yfasant ac ‡ k y gwledd- Hag. 1. 6.
asant gyd ag ef. Io. 2. 10.

## PEN. XLIV.

1 *Dyfais Joseph i attal ei frodyr.* 14 *Ufudd* Ion. 23. B.
*ddeisyfiad Judah at Joseph.*

AC efe a orchymynodd i'r hwn *oedd* 1707.
*olygwr* ar ei dŷ ef, gan ddywedyd,
Llanw sachau 'r gwŷr o fwyd, cymmaint ag
a allant ei ddwyn, a dod arian pob un yng-
enau ei sach.
2 A dod fy nghwppan fy hun, *sef* y cwp-
pan arian, yngenau sach yr ieuangaf, gyd ag
arian ei ŷd ef. Yntau a wnaeth yn ol gair
Joseph, yr hwn a ddywedasai efe.
3 Y bore a oleuodd, a'r gwŷr a ollyngwyd
ymaith, hwynt a'u hasynod.
4 Hwythau a aethant allan o'r ddinas. *Ac*
nid aethant nepell, pan ddywedodd Joseph
wrth yr hwn *oedd olygwr* ar ei dŷ, Cyfod,
*a* dilyn ar ol y gwŷr: a phan oddiweddech
hwynt, dywed wrthynt, Pa ham y talasoch
ddrwg am dda?
5 Onid dyma 'r *cwppan* yr yfai fy ar-
glwydd ynddo, ac yr arferai ddewiniaeth
wrtho? Drwg y gwnaethoch yr hyn a
wnaethoch.
6 ¶ Yntau a'u goddiweddodd hwynt, ac a
ddywedodd y geiriau hynny wrthynt hwy.
7 Y rhai a ddywedasant wrtho yntau, Pa
ham y dywed fy arglwydd y cyfryw eiriau?
na atto Duw i'th weision di wneuthur y
cyfryw beth.
8 Wele, ni a ddygasom attat ti eilwaith
o wlad Canaan yr arian a gawsom yngenau
ein sachau; pa fodd gan hynny y lladrattaem
ni arian neu aur o dŷ dy arglwydd di?
9 Yr hwn o'th weision di y ceffir y
*cwppan* gyd ag ef, a bydded hwnnw farw; a Pen. 31.
a ninnau hefyd a fyddwn gaeth-weision i'm 32.
harglwydd.
10 Yntau a ddywedodd, Bydded yn awr
fel y dywedasoch chwi: yr hwn y ceffir y
*cwppan* gyd ag ef a fydd was i mi, a chwi-
thau a fyddwch ddïeuog.
11 Hwythau a frysiasant, ac a ddisgyn-
asant bob un ei sach i lawr, ac a agorasant
bawb ei ffettan.
12 Yntau a chwiliodd; ar yr hynaf y
dechreuodd, ac ar yr ieuangaf y diweddodd:
a'r cwppan a gafwyd yn sach Benjamin.
13 Yna y rhwygasant eu dillad, ac a
bynniasant bawb ar ei asyn, ac a ddy-
chwelasant i'r ddinas.
14 ¶ A daeth Judah a'i frodyr i dŷ Jo-
seph, ac efe etto yno; ac a syrthiasant i
lawr ger ei fron ef.
15 A dywedodd Joseph wrthynt, Pa
waith *yw* hwn a wnaethoch chwi? oni
wyddech chwi y medr gwr fel myfi ddde-
winiaeth?
16 A dywedodd Judah, Pa beth a ddy-
wedwn wrth fy arglwydd? pa beth a le-
farwn? pa fodd yr ymgyfiawnhâwn? cafodd
Duw allan anwiredd dy weision: wele ni yn
weision i'm harglwydd, ie nyni, a'r hwn y
cafwyd y cwppan gyd ag ef hefyd.
17 Yntau a ddywedodd, Na atto *DUW*
i mi wneuthur hyn: y gwr y cafwyd y
cwppan yn ei law, efe fydd was i mi;
ewch chwithau i fynu, mewn heddwch, at
eich tad.

18 ¶ Yna'r aeth Judah atto ef, ac a ddy-
wedodd, Fy arglwydd, caffed, attolwg, dy
was ddywedyd gair yngklustiau fy arglwydd,
ac na ennyned dy lid wrth dy was: o he-
rwydd yr wyt ti megis Pharaoh.
19 Fy arglwydd a ymofynodd â'i weis-
ion, gan ddywedyd, A oes i chwi dad, neu
frawd?
20 Ninnau a ddywedasom wrth fy ar-
glwydd, Y mae i ni dad, yn hen wr; a
phlentyn ei henaint ef, un bychan: a'i
frawd fu farw, ac efe a adawyd ei hunan o'i
fam ef; a'i dad sydd hoff ganddo ef.
21 Tithau a ddywedaist wrth dy weision,
b Pen. 42. 15. b Dygwch ef i wared attaf fi, fel y gosodwyf
fy llygaid arno.
22 A ni a ddywedasom wrth fy arglwydd,
Y llangc ni ddichon ymadael â'i dad: oble-
gid os ymedy efe â'i dad, marw fydd *ei dad.*
23 Tithau a ddywedaist wrth dy weision,
c Pen. 43. 3, 5. c Oni ddaw eich brawd ieuangaf i wared gyd
â chwi, nac edrychwch yn fy wyneb mwy.
24 Bu hefyd wedi ein myned ni i fynu at
dy was, fy nhad, mynegasom iddo ef eiriau
fy arglwydd.
d Pen. 43. 2. 25 A d dywedodd ein tad, Ewch eilwaith,
prynwch i ni ychydig luniaeth.
26 Dywedasom ninnau, Ni's gallwn fyned
i wared: os bydd ein brawd ieuangaf gyd â
ni, nyni a awn i wared; oblegid ni allwn
edrych *yn* wyneb y gwr, oni bydd ein brawd
ieuangaf gyd â ni.
27 A dywedodd dy was fy nhad wrthym
e Pen. 46. 19. ni, Chwi a wyddoch e mai dau a blantodd
fy ngwraig i mi:
28 Ac un a aeth allan oddi wrthyf fi; min-
f Pen. 37. 33. nau a ddywedais, f Yn ddiau gan larpio y
llarpiwyd ef; ac ni's gwelais ef hyd yn hyn.
29 Os cymmerwch hefyd hwn ymaith o'm
g Pen. 42. 38. golwg, a digwyddo g niweid iddo ef; yna y
gwnewch i'm penllwydni ddisgyn mewn go-
fid i fedd.
30 Bellach gan hynny, pan ddelwyf at dy
was, fy nhad, heb fod y llangc gyd â ni;
h 1 Sam. 18. 1. (gan fod h ei hoedl ef ynglŷn wrth ei hoedl
yntau)
31 Yna pan welo efe na *ddaeth* y llangc,
marw fydd efe; a'th weision a barant i ben-
wynnedd dy was ein tad ni ddisgyn mewn
gofid i fedd.
32 Oblegid dy was a aeth yn feichiau am
i Pen. 43. 9. y llangc i'm tad, gan ddywedyd, i Oni's
dygaf ef attat ti, yna byddaf euog o fai yn
erbyn fy nhad byth.
33 Gan hynny weithian, attolwg, arhosed
dy was dros y llangc, yn was i'm harglwydd;
ac aed y llangc i fynu gyd â'i frodyr:
34 Oblegid pa fodd yr af i fynu at fy
nhad, a'r llangc heb *fod* gyd â mi? rhag i mi
weled y gofid a gaiff fy nhad.

## PEN. XLV.

Sul 4 o'r Grawys, P. Ion. 24. P. 1 *Joseph yn ei yspysu ei hun i'w frodyr:* 5
*yn eu cysuro hwynt â rhagluniaeth Duw:*
9 *yn danfon am ei dad.* 16 *Pharaoh yn*
*sicrhâu'r peth.* 21 *Joseph yn gosod allan*
*ei frodyr i'r daith, ac yn eu hannog hwynt*
*i fod yn gyttun.* 25 *Jacob yn ymlaweny-*
*chu wrth y newyddion.*

1707. YNA Joseph ni allodd ymattal ger bron y
rhai oll oedd yn sefyll gyd ag ef: ac
efe a lefodd, Perwch allan bawb oddi
wrthyf. Yna nid arhosodd neb gyd ag ef,
pan ymgydnabu Joseph â'i frodyr.
2 Ac efe a ododd ei lef mewn wylofain:
a chlybu'r Aiphtiaid, a chlybu tŷ Pharaoh.
3 A Joseph a ddywedodd wrth ei frodyr,
a Myfi *yw* Joseph; ai byw fy nhad etto? a Act. 7. 13.
A'i frodyr ni fedrent atteb iddo; oblegid
brawychasent ger ei fron ef.
4 Joseph hefyd a ddywedodd wrth ei fro-
dyr, Dyneswch, attolwg, attaf fi. Hwythau
a ddynesasant. Yntau a ddywedodd, Myfi
*yw* Joseph eich brawd chwi, b yr hwn a b Pen. 37. 28.
werthasoch i'r Aipht.
5 Weithian gan hynny na thristêwch, ac
na † ddigiwch wrthych eich hunain, am † Heb. *na fydded*
werthu o honoch fyfi yma; c oblegid i *dig yn eich*
achub einioes yr hebryngodd Duw fyfi o'ch *llygaid.*
blaen chwi.
6 Oblegid dyma ddwy flynedd o'r newyn 1706.
o fewn y wlad; ac *fe a fydd* etto bum mly- c Pen. 50. 20.
nedd, y rhai *a fydd* heb nac âr na medi. Psalm 105. 16, 17.
7 A Duw a'm hebryngodd i o'ch blaen
chwi, i ‡ gadw i chwi hiliogaeth yn y wlad, Edrych
ac i beri bywyd i chwi, trwy fawr ymwared. 2 Sam. 16. 10.
8 Ac yr awr hon nid chwi a'm hebryng- Act. 4. 24.
odd i yma, ond Duw: ac efe a'm gwnaeth ‡ Heb.
i yn dad i Pharaoh, ac yn arglwydd ar ei *osod.*
holl dŷ ef, ac yn llywydd ar holl wlad yr
Aipht.
9 Brysiwch, ac ewch i fynu at fy nhad, a
dywedwch wrtho, Fel hyn y dywed dy fab
Joseph; Duw a'm gosododd i yn arglwydd ar
yr holl Aipht: tyred i wared attaf; nac oeda.
10 A d chai drigo yngwlâd Gosen, a bod d Pen. 47. 1.
yn agos attaf fi, ti a'th feibion, a meibion
dy feibion, a'th ddefaid, a'th wartheg, a'r
hyn oll *sydd* gennyt:
11 Ac yno y'th borthaf (oblegid pum
mlynedd o newyn *a fydd* etto) rhag dy fy-
ned mewn tlodi, ti a'th deulu, a'r hyn oll
*sydd* gennyt.
12 Ac wele eich llygaid chwi, a llygaid fy
mrawd Benjamin yn gweled, mai fy ngenau
i *sydd* yn ymadrodd wrthych.
13 Mynegwch hefyd i'm tad fy holl an-
rhydedd i yn yr Aipht, a'r hyn oll a wel-
soch; brysiwch hefyd, a e dygwch fy nhad e Act. 7. 14.
i wared yma.
14 Ac efe a syrthiodd ar wddf ei frawd
Benjamin, ac a wylodd; Benjamin hefyd a
wylodd ar ei wddf yntau.
15 Ac efe a gusanodd ei holl frodyr, ac a
wylodd arnynt: ac ar ol hynny ei frodyr a
ymddiddanasant ag ef.
16 ¶ A'r gair a ddaeth i dŷ Pharaoh, gan
ddywedyd, Brodyr Joseph a ddaethant: a
da oedd *hyn* yngolwg Pharaoh, ac yngolwg
ei weision.
17 A Pharaoh a ddywedodd wrth Joseph,
Dywed wrth dy frodyr, Gwnewch hyn;
Llwythwch eich ysgrubliaid, a cherddwch,
*ac* ewch i wlad Canaan;
18 A chymmerwch eich tad, a'ch teulu-
oedd, a deuwch attaf fi: a rhoddaf i chwi
ddaioni gwlad yr Aipht, a chewch fwytta
f brasder y wlad. f Pen. 27. 28.
19 Gorchymyn yn awr a gefaist, gwnewch
hyn: cymmerwch i chwi o wlad yr Aipht
gerbydau i'ch rhai bach, ac i'ch gwragedd;
a chymmerwch eich tad, a deuwch.
20 Ac nac arbeded eich llygaid chwi *ddim*
dodrefn; oblegid dâ holl wlad yr Aipht sydd
eiddo chwi.
21 A meibion Israel a wnaethant felly: a
rhoddodd Joseph iddynt hwy gerbydau, yn
ol § gorchymyn Pharaoh, a rhoddodd iddynt § Heb. *genau.*
fwyd ar hyd y ffordd.
22 I bob un o honynt oll y rhoddes bâr o
ddillad: ond i Benjamin y rhoddes drichant
*o ddarnau* arian, a phum pâr o ddillad.

23 Hefyd i'w dad yr anfonodd fel hyn;
† Heb. *cludo.* deg o asynod yn † llwythog o ddâ'r Aipht,
a deg o asynod yn dwyn ŷd, bara, a bwyd
i'w dad ar hyd y ffordd.
24 Yna y gollyngodd ymaith ei frodyr;
a hwy a aethant ymaith: ac efe a ddy-
wedodd wrthynt hwy, Nac ymrysonwch ar
y ffordd.
1706. 25 ¶ Felly yr aethant i fynu o'r Aipht, ac
a ddaethant i wlad Canaan, at eu tad Jacob;
26 Ac a fynegasant iddo, gan ddywedyd,
Y mae Joseph etto'n fyw, ac y mae'n llyw-
odraethu ar holl wlad yr Aipht. Yna y
‡ Sef, *Jacob.* llesgaodd ei galon ‡ yntau; oblegid nid oedd
yn eu credu.
27 Traethasant hefyd iddo ef holl eiriau
Joseph, y rhai a ddywedasai efe wrthynt hwy.
A phan ganfu efe'r cerbydau a anfonasai
Joseph i'w ddwyn ef, yna y bywiogodd
yspryd Jacob eu tad hwynt.
28 A dywedodd Israel, Digon *ydyw*; y
mae Joseph fy mab etto'n fyw: af, fel y
gwelwyf ef cyn fy marw.

## PEN. XLVI.

Ioc. 24. B. 1 *Duw yn cysuro Jacob yn Beerseba.* 5 *Efe a'i deulu yn myned oddi yno i'r Aipht.* 8 *Rhifedi ei deulu ef y rhai a aeth i'r Aipht.* 28 *Joseph yn cyfarfod Jacob.* 31 *Mae efe yn dysgu i'w frodyr pa fodd yr attebant Pharaoh.*

1706. YNA y cychwynodd Israel, a'r hyn oll
oedd ganddo, ac a ddaeth i Beerseba, ac
a aberthodd ebyrth i DDUW ei dad Isaac.
2 A llefarodd DUW wrth Israel mewn
gweledigaethau nos, ac a ddywedodd, Ja-
cob, Jacob. Yntau a ddywedodd, Wele fi.
3 Ac efe a ddywedodd, Myfi *yw* DUW,
DUW dy dad: nac ofna fyned i wared i'r
Aipht; canys gwnaf di yno yn genhedlaeth
fawr.
4 Myfi a af i wared gyd â thi i'r Aipht; a
myfi gan ddwyn a'th ddygaf di i fynu
a Pen. 50. 1. drachefn: [a] Joseph hefyd a esyd ei law ar
dy lygaid di.
b Act. 7. 15. 5 A chyfododd [b] Jacob o Beerseba: a
c Jos. 24. 4. Psal. 105. 23. Es. 52. 4. meibion Israel a ddygasant Jacob eu tad,
a'u rhai bach, a'u gwragedd, yn y cerbydau
a anfonasai Pharaoh i'w ddwyn ef.
d Ex. 1. 1. a 6. 14. 6 Cymmerasant hefyd eu hanifeiliaid, a'u
e Num. 26. 5. golud a gasglasent yn nhir Canaan, ac a
ddaethant i'r Aipht, [c] Jacob, a'i holl had
1 Chron. 5. 1. gyd ag ef:
7 Ei feibion, a meibion ei feibion gyd ag
f Exod. 6. 15. ef, ei ferched, a merched ei feibion, a'i holl
had, a ddug efe gyd ag ef i'r Aipht.
† Nemuel. 8 ¶ A [d] dyma enwau plant Israel, y rhai
‡ Jarib. a ddaethant i'r Aipht, Jacob a'i feibion:
§ Zerah. [e] Reuben, cynfab Jacob.
1 Chron. 4. 24. 9 A meibion Reuben; Hanoch, a Phalu,
g 1 Chron. 6. 1, 16. Hesron hefyd, a Charmi.
10 ¶ A [f] meibion Simeon; † Jemuel, a Ja-
‖ Neu, *Gerson.* min, ac Ohad, a ‡ Jachin, a § Sohar, a Saul
h 1 Chron. 2. 3. a 4. 21. mab Canaanees.
11 ¶ Meibion [g] Lefi hefyd; ‖ Gerson,
i Pen. 38. 3, 7, 10, 29, 30. Cohath, a Merari.
12 ¶ A meibion [h] Judah; Er, ac Onan, a
k 1 Chron. 2. 5. Selah, Pharez hefyd, a Zarah: a buasai farw
[i] Er ac Onan yn nhir Canaan. A [k] meibion
l 1 Chron. 7. 1. Pharez oedd Hesron, a Hamul.
13 ¶ [l] Meibion Issachar hefyd; Tola, a
† Neu, *Puah, a Jasub.* † Phufah, a Job, a Simron.
14 ¶ A meibion Zabulon; Sered, ac Elon,
a Jaleel.
‡ *Padan-Aram.* 15 Dyma feibion Leah, y rhai a blantodd
hi i Jacob ym ‡ Mesopotamia, a Dinah ei
ferch: ei feibion a'i ferched *oeddynt* oll dri
dyn ar ddeg ar hugain.
16 ¶ A meibion Gad; [m] Siphion, a Haggai, m Num. 26. 15, &c.
Suni, ac § Esbon, Eri, ac ‖ Arodi, ac Areli. § *Sephon.*
17 ¶ [n] A meibion Aser; Jimnah, ac Isuah, § *Ozni.*
ac Isui, a Beriah, a Serah eu chwaer hwynt. ‖ *Arod.*
A meibion Beriah; Heber, a Malchiel. n 1 Chron. 7. 30.
18 [o] Dyma feibion Zilpah, [p] yr hon a
roddodd Laban i Leah ei ferch: a hi a blan- o Pen. 30. 10.
todd y rhai hyn i Jacob, *sef* un dyn ar p Pen. 29. 24.
bymtheg.
19 ¶ Meibion Rahel, [q] gwraig Jacob, *oedd* q Pen. 44. 27.
Joseph, a Benjamin.
20 Ac i Joseph y ganwyd, yn nhir yr r Pen. 41. 50.
Aipht, Manasseh, ac Ephraim, [r] y rhai a
blantodd Asnath, merch Potipherah † offei- † *tywysog.*
riad On, iddo ef. s 1 Chron. 7. 6. a 8. 11.
21 ¶ [s] A meibion Benjamin; Belah, a t Num. 26. 38, 39.
Becher, ac Asbel, Gera, a Naaman, [t] Ehi, a *Ahiram.*
Ros, [u] Muppim, a ‡ Huppim, ac Ard.
22 Dyma feibion Rahel, y rhai a blantodd u Num. 26. 39.
hi i Jacob; yn bedwar dyn ar ddeg oll. *Sephu-pham.*
23 ¶ [x] A meibion Dan *oedd* § Husim.
24 ¶ [y] A meibion Naphtali; Jaseel, a ‡ *Hupham.*
Guni, a Jeser, a Silem. x 1 Chron. 7. 12.
25 [z] Dyma feibion Bilhah, [a] yr hon a rodd- Num. 26. 42.
odd Laban i Rahel ei ferch: a hi a blantodd
y rhai hyn i Jacob, yn saith nyn oll. § *Suam.*
26 [b] Yr holl eneidiau y rhai a ddaethant y 1 Chron. 7. 13.
gyd â Jacob i'r Aipht, yn dyfod allan o'i
‖ lwynau ef, heblâw gwragedd meibion Ja- z Pen. 30. 5.
cob, *oeddynt* oll chwe enaid a thrugain.
27 A meibion Joseph y rhai a anwyd iddo a Pen. 29. 29.
ef yn yr Aipht, *oedd* ddau enaid: [c] holl b Exod. 1. 5.
eneidiau tŷ Jacob, y rhai a ddaethant i'r
Aipht, *oeddynt* ddeg a thrugain. ‖ Heb. *forddwyd.*
28 ¶ Ac efe a anfonodd Judah o'i flaen at
Joseph, i gyfarwyddo ei wyneb ef i Gosen: c Deut. 10. 22.
yna y daethant i dir Gosen. Edr. Act. 7. 14.
29 A Joseph a barottôdd ei gerbyd, ac a
aeth i fynu i gyfarfod Israel ei dad i Gosen;
ac a ymddangosodd iddo: ac efe a syrthiodd
ar ei wddf ef, ac a wylodd ar ei wddf ef
ennyd.
30 A dywedodd Israel wrth Joseph,
[d] Byddwyf farw bellach, wedi im' weled dy d Felly Luc 2. 20.
wyneb, gan dy fod di yn fyw etto.
31 A dywedodd Joseph wrth ei frodyr, ac
wrth deulu ei dad, Mi a af i fynu, ac a fy-
negaf i Pharaoh, ac a ddywedaf wrtho, Fy
mrodyr, a theulu fy nhad, y rhai *oedd* yn
nhir Canaan, a ddaethant attaf fi.
32 A'r gwŷr, bugeiliaid defaid ydynt:
canys perchen anifeiliaid ydynt; a dygasant
*yma* eu praidd, a'u gwartheg, a'r hyn oll
*oedd* ganddynt.
33 A phan alwo Pharaoh am danoch, a
[e] dywedyd, Beth *yw* eich gwaith? e Pen. 47. 2, 3.
34 Dywedwch, Dy weision fuant drin-
wŷr anifeiliaid o'u hieuengctid hyd yr awr
hon, nyni a'n tadau hefyd; er mwyn cael o
honoch drigo yn nhir Gosen: canys [f] ffieidd- f Ex. 8. 26.
dra'r Aiphtiaid *yw* pob bugail defaid.

## PEN. XLVII.

1 *Joseph yn dwyn pump o'i frodyr, 7 a'i dad, ger bron Pharaoh.* 11 *Yntau yn rhoddi iddynt drigfa a modd i fyw.* 13 *Mae efe yn cael holl arian yr Aiphtiaid,* 16 *a'u hanifeiliaid,* 18 *a'u tiroedd, i Pharaoh.* 22 *Ni phrynwyd mo dir yr offeiriaid.* 23 *Mae efe'n gosod y tir iddynt er y pummed rhan.* 28 *Oedran Jacob.* 29 *Mae efe'n peri i Joseph dyngu y claddai efe ef gyd â'i dadau.* Ioc. 24. P.

YNA y daeth Joseph ac a fynegodd i 1706.
Pharaoh, ac a ddywedodd, Fy nhad, a'm

brodyr, a'u defaid, a'u gwartheg, a'r hyn
oll *oedd* ganddynt, a ddaethant o dir Ca-
a Pen. 45. 10. naan; ac wele hwynt yn [a] nhir Gosen.
2 Ac efe a gymmerth rai o'i frodyr, *sef*
pumnyn, ac a'u gosododd hwynt o flaen
Pharaoh.
3 A dywedodd Pharaoh wrth ei frodyr ef,
Beth *yw* eich gwaith chwi? Hwythau a ddy-
b Pen. 46. 34. wedasant wrth Pharaoh, [b] Bugeiliaid defaid
yw dy weision, nyni a'n tadau hefyd.
4 Dywedasant hefyd wrth Pharaoh, I
ortymdaith yn y wlad y daethom, am nad
*oes* borfa i'r defaid gan dy weision; canys
trwm *yw*'r newyn yngwlâd Canaan: ac yr
awr hon, attolwg, caed dy weision drigo yn
nhir Gosen.
5 A llefarodd Pharaoh wrth Joseph, gan
ddywedyd, Dy dad a'th frodyr a ddaethant
attat.
6 Tir yr Aipht sydd o'th flaen; cyflea dy
dad a'th frodyr yn y man goreu yn y wlad;
trigant yn nhir Gosen: ac os gwyddost fod
yn eu mysg wŷr grymmus, gosod hwynt yn
ben-bugeiliaid ar yr eiddof fi.
7 A dug Joseph Jacob ei dad, ac a'i go-
sododd ger bron Pharaoh: a Jacob a fen-
dithiodd Pharaoh.
† *Beth yw dy oedran di?* 8 A dywedodd Pharaoh wrth Jacob, † Pa
faint *yw* dyddiau blynyddoedd dy einioes
di?
9 A Jacob a ddywedodd wrth Pharaoh,
c Heb. 11. 9, 13. [c] Dyddiau blynyddoedd fy ymdaith *ydynt*
ddeg ar hugain a chan mlynedd: ychydig
a drwg fu dyddiau blynyddoedd fy einioes,
ac ni chyrhaeddasant ddyddiau blynydd-
oedd einioes fy nhadau yn nyddiau eu
hymdaith hwynt.
10 A bendithiodd Jacob Pharaoh, ac a aeth
allan o wydd Pharaoh.
11 ¶ A Joseph a gyfleodd ei dad a'i fro-
dyr, ac a roddes iddynt feddiant yngwlâd
yr Aipht, ynghwrr goreu'r wlad, yn nhir
Rameses, fel y gorchymynasai Pharaoh.
12 Joseph hefyd a gynhaliodd ei dad, a'i
‡ Neu, *fel bwydo plentyn.* frodyr, a holl dylwyth ei dad, â bara, ‡ yn
ol *eu* teuluoedd.
13 ¶ Ac nid *oedd* bara yn yr holl wlad:
canys y newyn oedd drwm iawn; fel yr
oedd gwlad yr Aipht, a gwlad Canaan, yn
§ *diffygio.* § dyddfu gan y newyn.
14 Joseph hefyd a gasglodd yr holl arian
a gawsid yn nhir yr Aipht, ac yn nhir Ca-
naan, am yr ymborth a brynasent hwy: a
Joseph a ddug yr arian i dŷ Pharaoh.
1702. 15 Pan ddarfu 'r arian yn nhir yr Aipht,
ac yngwlâd Canaan, yr holl Aiphtiaid a
ddaethant at Joseph, gan ddywedyd, Moes
i ni fara: canys pa'm y byddem ni feirw ger
dy fron? o herwydd darfu 'r arian.
16 A dywedodd Joseph, Moeswch eich
anifeiliaid; a rhoddaf i chwi am eich ani-
feiliaid, os darfu 'r arian.
17 A hwy a ddygasant eu hanifeiliaid at
Joseph: a rhoddes Joseph iddynt fara am
y meirch, ac am y dïadelloedd defaid, ac
am y gyrroedd gwartheg, ac am yr asynod;
‖ Heb. ac a'u ‖ cynhaliodd hwynt â bara, am eu
*tywysodd.* holl anifeiliaid, dros y flwyddyn honno.
18 A phan ddarfu 'r flwyddyn honno, y
daethant atto ef yr ail flwyddyn, ac a ddy-
wedasant wrtho, Ni chelwn oddi wrth fy
arglwydd ddarfod yr arian, a *myned ein* hys-
grubliaid a'n hanifeiliaid at fy arglwydd;
ni adawyd i ni ger bron fy arglwydd onid
ein cyrph a'n tir.
19 Pa ham y byddwn feirw o flaen dy lyg-
aid, nyni a'n tir? prŷn ni a'n tir am fara;
a nyni a'n tir a fyddwn gaethion i Pharaoh:
dod dithau i ni had, fel y byddom fyw, ac
na fyddom feirw, ac na byddo'r tir yn ang-
hyfannedd.
20 A Joseph a brynodd holl dir yr Aipht 1701.
i Pharaoh: canys yr Aiphtiaid a werthasant
bob un ei faes; oblegid y newyn a gryf-
hasai arnynt: felly yr aeth y tir i Pharaoh.
21 Y bobl hefyd, efe a'u symmudodd
hwynt i ddinasoedd, o'r naill gwrr i derfyn
yr Aipht hyd ei chwrr *arall.*
22 Yn unig tir yr † offeiriaid ni phrynodd † Neu,
efe: canys rhan *oedd* i'r offeiriaid wedi ei *tywysog-*
phennu iddynt gan Pharaoh, a'u rhan a *ion.*
roddasai Pharaoh iddynt a fwyttasant hwy;
am hynny ni werthasant hwy eu tir.
23 Dywedodd Joseph hefyd wrth y bobl,
Wele, prynais chwi heddyw, a'ch tir, i Pha-
raoh: wele i chwi had, heuwch chwithau'r
tir.
24 A bydded i chwi roddi i Pharaoh y
bummed ran o'r cnwd; a bydd y pedair rhan
i chwi, yn had i'r maes, ac yn ymborth i
chwi, ac i'r rhai *sydd* yn eich tai, ac yn
fwyd i'ch rhai bach.
25 A dywedasant, Cedwaist ni yn fyw:
gad i ni gael ffafr yngolwg fy arglwydd, a
byddwn weision i Pharaoh.
26 A Joseph a osododd hynny yn ddeddf,
hyd heddyw, ar dir yr Aipht, gael o Pharaoh
y bummed ran; ond o dir yr offeiriaid yn
unig, yr hwn nid oedd eiddo Pharaoh.
27 ¶ Trigodd Israel hefyd yngwlâd yr
Aipht o fewn tir Gosen, ac a gawsant fedd-
iannau ynddi; cynnyddasant hefyd, ac aml-
hasant yn ddirfawr.
28 Jacob hefyd a fu fyw yn nhir yr Aipht 1689.
ddwy flynedd ar bymtheg: felly 'r oedd
dyddiau Jacob, *sef* blynyddoedd ei einioes
ef, yn saith mlynedd a deugain a chan mly-
nedd.
29 A dyddiau Israel a nesasant i farw: ac
efe a alwodd am ei fab Joseph, ac a ddywed-
odd wrtho, O chefais yn awr ffafr yn dy
olwg, [d] gosod, attolwg, dy law dan fy mordd- d Pen. 24.
wyd, a gwna â mi drugaredd a gwirionedd; 2.
[e] na chladd fi, attolwg, yn yr Aipht. e Felly Pen. 50. 25.
30 Eithr mi a orweddaf gyd a'm tadau;
yna dwg fi allan o'r Aipht, a [f] chladd fi yn f Pen. 49. 29.
eu beddrod hwynt. Yntau a ddywedodd, g Heb. 11.
Mi a wnaf yn ol dy air. 21.
31 Ac efe a ddywedodd, Twng wrthyf. Edrych 1 Bren. 1.
Ac efe a dyngodd wrtho. Yna [g] Israel a 47.
ymgrymmodd ar ben y gwely.

## PEN. XLVIII.

1 *Joseph a'i ddau fab yn ymweled â'i dad yn ei* Ion. 26. B.
*glefyd.* 2 *Jacob yn ymgryfhau i'w bendithio*
*hwy.* 3 *Yn adrodd yr addewid.* 5 *Yn cym-*
*meryd Ephraim a Manasseh yn eiddo ei hun.*
7 *Yn crybwyll wrtho am fedd ei fam.* 9 *Yn*
*bendithio Ephraim a Manasseh,* 17 *Yn gosod*
*yr ieuangaf o flaen yr hynaf.* 21 *Yn pro-*
*phwydo am eu dychweliad hwy i Canaan.*

A Bu, wedi 'r pethau hyn, ddywedyd o 1689
un wrth Joseph, Wele, y mae dy dad
yn glaf. Ac efe a gymmerth ei ddau fab
gyd ag ef, Manasseh ac Ephraim.
2 A mynegodd *un* i Jacob, ac a ddywed-
odd, Wele dy fab Joseph yn dyfod attat.
Ac Israel a ymgryfhaodd, ac a eisteddodd ar
y gwely.
3 A dywedodd Jacob wrth Joseph, Duw
Hollalluog a ymddangosodd i mi yn [a] Luz, a Pen. 28.
yngwlad Canaan, ac a'm bendithiodd: 13. a 35. 6.

4 Dywedodd hefyd wrthyf, Wele, mi a'th
wnaf yn ffrwythlon, ac a'th amlhaf, ac yn
dyrfa o bobloedd y'th wnaf, a rhoddaf y tir
hwn i'th had di ar dy ol di, yn etifeddiaeth
dragywyddol.

[b] Pen. 41. 50. a 46. 20. Jos. 14. 4.
5 ¶ Ac yr awr hon, dy [b] ddau fab, y rhai
a anwyd i ti yn nhir yr Aipht, cyn fy nyfod
attat i'r Aipht, eiddof fi *fyddant* hwy:
Ephraim a Manasseh fyddant eiddof fi, fel
Reuben a Simeon.

6 A'th eppil, y rhai a genhedlych ar eu
hol hwynt, fyddant eiddot ti dy hun; ar
enw eu brodyr y gelwir hwynt yn eu heti-
feddiaeth.

† *Padan-Aram.* [c] Pen. 35. 19.
7 ¶ A phan ddaethum i o † Mesopotamia,
bu [c] Rahel farw gyd â mi yn nhir Canaan,
ar y ffordd, pan oedd etto filldir o dir hyd
Ephrath: a chleddais hi yno ar ffordd
Ephrath; honno *yw* Bethlehem.

8 A gwelodd Israel feibion Joseph, ac a
ddywedodd, Pwy *yw* y rhai hyn?

9 A Joseph a ddywedodd wrth ei dad,
Dyma fy meibion i, a roddodd Duw i mi
yma. Yntau a ddywedodd, Dwg hwynt, at-
tolwg, attaf fi, a mi a'u bendithiaf hwynt.

[d] Pen. 27. 1. ‡ *dywyll.*
10 [d] Llygaid Israel hefyd oedd ‡ drym-
mion gan henaint, *fel* na allai efe weled:
ac efe a'u dygodd hwynt atto ef; yntau a'u
cusanodd hwynt, ac a'u cofleidiodd.

11 Dywedodd Israel hefyd wrth Joseph,
Ni feddyliais weled dy wyneb; etto wele,
parodd Duw im' weled dy had hefyd.

12 A Joseph a'u tynnodd hwynt allan oddi
wrth ei liniau ef, ac a ymgrymmodd i lawr
ar ei wyneb.

13 Cymmerodd Joseph hefyd hwynt ill
dau, Ephraim yn ei law ddehau tu a llaw
aswy Israel, a Manasseh yn ei law aswy tu
a llaw ddehau Israel; ac a'u nesaodd hwynt
atto ef.

14 Ac Israel a estynodd ei law ddehau, ac
a'i gosododd ar ben Ephraim (a hwn oedd
yr ieuangaf) a'i law aswy a'r ben Manasseh:
gan gyfarwyddo ei ddwylaw trwy wybod;
canys Manasseh *oedd* y cynfab.

[e] Heb. 11. 21. [f] Pen. 17. 1. a 24. 40.
15 ¶ Ac [e] efe a fendithiodd Joseph, ac a
ddywedodd, Duw, [f] yr hwn y rhodiodd fy
nhadau Abraham ac Isaac ger ei fron, Duw,
yr hwn a'm porthodd er pan ydwyf, hyd y
dydd hwn,

[g] Pen. 28. 15. a 31. 11, 13. § *cyn-yddant.*
16 Yr angel [g] yr hwn a'm gwaredodd i
oddi wrth bob drwg, a fendithio 'r llangc-
iau; fy enw hefyd, ac enw fy nhadau
Abraham ac Isaac, a alwer arnynt: § heig-
iant hefyd yn lliaws ynghanol y wlad.

17 Pan welodd Joseph osod o'i dad ei law
ddehau ar ben Ephraim, bu anfoddlon gan-
ddo: ac efe a ddaliodd law ei dad, i'w sym-
mud hi, oddi ar ben Ephraim, ar ben Ma-
nasseh.

18 Dywedodd Joseph hefyd wrth ei dad,
Nid felly, fy nhad: canys dyma 'r cynfab;
gosod dy law ddehau ar ei ben ef.

19 A'i dad a omeddodd, ac a ddywed-
odd, Mi a wn, fy mab, mi a wn: bydd hwn
hefyd yn bobl, a mawr fydd hwn hefyd; ond
[h] Num. 1. 33, 35. a 2. 19, 21. Deut. 13. 17.
yn wir [h] ei frawd ieuangaf fydd mwy nag ef,
a'i had ef fydd yn ‖ lliaws o genhedloedd.

‖ Heb. *lawnder.* [i] Felly Ruth 4. 11, 12.
20 Ac efe a'u bendithiodd hwynt yn y
dydd hwnnw, gan ddywedyd, [i] Ynot ti y
bendithia Israel, gan ddywedyd, Gwnaed
Duw di fel Ephraim, ac fel Manasseh. Ac
efe a osododd Ephraim o flaen Manasseh.

21 Dywedodd Israel hefyd wrth Joseph,
Wele fi yn marw; a bydd Duw gyd â chwi,
ac efe a'ch dychwel chwi i dir eich tadau.

22 A [k] mi a roddais i ti un rhan goruwch [k] Jos. 24. 32.
dy frodyr, yr hon a ddygais o law 'r Amor- Io. 4. 5.
iaid â'm cleddyf ac â'm bwa.

## PEN. XLIX.

1 *Jacob yn galw ei feibion i'w bendithio.* 3 Ion. 26. P.
*Bendith pob un o honynt.* 29 *Mae efe'n*
*rhoddi siars arnynt ynghylch ei gladdedi-*
*gaeth;* 33 *ac yn marw.*

YNA y galwodd Jacob ar ei feibion, ac a 1689.
ddywedodd, Ymgesglwch, fel y my-
negwyf i chwi 'r hyn a ddigwydda i chwi yn
y dyddiau diweddaf.

2 Ymgesglwch, a chlywch, meibion Ja-
cob; ie, gwrandewch ar Israel eich tad.

3 ¶ [a] Reuben fy nghynfab, tydi *oedd* fy [a] Pen. 29. 32.
ngrym, a [b] dechreuad fy nerth, rhagoriaeth
braint, a rhagoriaeth cryfder. [b] Deut. 21. 17.

4 Ansafadwy *oeddit* fel dwfr: † ni ragori Psal. 78. 51.
di; canys [c] dringaist wely dy dad: yna yr † Heb. *na*
halogaist *ef*: fy ngwely a ddringodd. *ragora.*

5 ¶ [d] Simeon a Lefi *sydd* frodyr; ‡ offer [c] Pen. 35. 22.
creulondeb *sydd yn* eu hanneddau. 1 Chron. 5.

6 Na ddeled fy enaid i'w cyfrinach hwynt; 1.
fy ngogoniant, na fydd un â'u cynnulleidfa [d] Pen. 29.
hwynt: canys [e] yn eu dig y lladdasant wr, 33, 34.
ac o'u gwirfodd y § diwreiddiasant gaer. ‡ Neu,

7 Melldigedig fyddo eu dig, canys tost *arfau*
*oedd*; a'u llid, canys creulon *fu*: [f] rhannaf *trawsder*
hwynt yn Jacob, a gwasgaraf hwynt yn Is- *yw eu cle-*
rael. *ddyfau.* [e] Pen. 34.

8 ¶ [g] Tithau, Judah, dy frodyr a'th glodfo- 25.
rant di: dy law *fydd* yngwarr dy elynion; § Neu, *diwyll-*
[h] meibion dy dad a ymgrymmant i ti. *iasant*

9 Cenaw llew *wyt ti*, Judah; o'r ysglyfaeth *ychen.*
y daethost i fynu, fy mab: [i] ymgrymmodd, [f] Jos. 19. 1.
gorweddodd fel llew, ac fel hen lew: pwy a 21. 5, 6, 7.
a'i cyfyd ef? 1 Chron. 4. 24, 39.

10 Nid ymedy y deyrn-wïalen o Judah, na [g] Pen. 29.
[k] deddfwr oddi rhwng ei draed ef, [l] hyd 35.
oni ddel Silo; ac atto ef *y bydd* cynhulliad [h] 1 Chron.
pobloedd. 5. 2.

11 Yn rhwymo ei ebol wrth y winwydd- [i] Num. 23. 24. a 24. 9.
en, a llwdn ei asyn wrth y bêr winwydden: [k] Psal. 60.
golchodd ei wisg mewn gwin, a'i ddillad 7. a 108. 8.
yngwaed y grawnwin. [l] Ezec. 21.

12 Coch *fydd* ei [m] lygaid gan win, a gwyn 32.
*fydd* ei ddannedd gan laeth. Luc 1. 32.

13 ¶ [n] Zabulon a breswylia ym mhorthle- [m] Di. 23. 29.
oedd y môr; ac efe a fydd yn borthladd [n] Deut. 33.
llongau, a'i derfyn fydd hyd Sidon. 18.

14 ¶ Issachar *sydd* asyn asgyrnog, yn gor- Jos. 19. 10.
wedd rhwng dau bwnn.

15 Ac a wel lonyddwch mai da yw, a'r
tir mai hyfryd: efe a ogwydda ei ysgwydd i
ddwyn, ac a fydd yn gaeth dan deyrn-ged.

16 ¶ [o] Dan a farn ei bobl fel un o lwyth- [o] Deut. 33.
au Israel. 22.

17 Dan fydd sarph ar y ffordd, a ‖ neidr ‖ Heb.
ar y llwybr; yn brathu sodlau 'r march, fel *saethneidr.*
y syrthio ei farchog yn ol.

18 [p] Am dy iachawdwriaeth di y disgwyl- [p] Psal. 119.
iais, ARGLWYDD. 166.

19 ¶ [q] Gad, llu a'i gorfydd; ac yntau a [q] Deut. 33.
orfydd o'r diwedd. 20.

20 ¶ O [r] Aser bras *fydd* ei fwyd ef, ac 1 Chron. 5.
efe a rydd ddanteithion brenhinol. 18.

21 ¶ [s] Naphtali *fydd* ewig wedi ei goll- [r] Deut. 33. 24.
wng, yn rhoddi geiriau teg. Jos. 19. 24.

22 ¶ Joseph *fydd* gangen ffrwythlon, [s] Deut. 33.
cangen ffrwythlon wrth ffynnon, † ceingciau 23.
yn cerdded ar hŷd mur. † Heb. *merched.*

23 A'r saethyddion fuant chwerw wrtho
ef, ac a saethasant, ac a'i casasant ef.

24 Er hynny arhôdd ei [t] fwa ef yn gryf, a [t] Job 29.
breichiau ei ddwylaw a gryfhasant, trwy 20.

u Psal. 132. 2. ddwylaw [u] grymmus *DDUW* Jacob: oddi
ynno y *mae* 'r bugail, maen Israel.
25 Trwy Dduw dy dad, yr hwn a'th gyn-
x Deut. 33. 13. horthwya, a'r Hollalluog, [x] yr hwn a'th
fendithia â bendithion y nefoedd oddi
uchod, â bendithion y dyfnder yn gorwedd
isod, â bendithion y bronnau a'r groth.
26 Rhagorodd bendithion dy dad ar fen-
dithion fy rhïeni, hyd derfyn bryniau tra-
gywyddoldeb: byddant ar ben Joseph, ac
ar goryn yr hwn a neillduwyd oddi wrth ei
frodyr.
27 ¶ Benjamin a'sglyfaetha *fel* blaidd: y
bore y bwytty 'r ysglyfaeth, a'r hwyr y
rhan yr yspail.
28 ¶ Dyma ddeuddeg llwyth Israel oll;
a dyma 'r hyn a lefarodd eu tad wrthynt, ac
y bendithiodd efe hwynt: pob un yn ol ei
fendith y bendithiodd efe hwynt.
29 Yna y gorchymynodd efe iddynt, ac
y Pen. 15. 15. a 25. 8. a ddywedodd wrthynt, Myfi [y] a gesglir at
fy mhobl: [z] cleddwch fi gyd â'm tadau, yn
z Pen. 47. 30. yr ogof *sydd* ym maes Ephron yr Hethiad;
30 Yn yr ogof *sydd* ym maes Machpelah,
yr hon *sydd* o flaen Mamre, yngwlâd Ca-
a Pen. 23. 16. naan, [a] yr hon a brynodd Abraham gyd â'r
maes gan Ephron yr Hethiad, yn feddiant
beddrod.
b Pen. 23. 19. a 25. 9. 31 [b] Yno y claddasant Abraham a Sarah
c Pen. 35. 29. ei wraig; [c] yno y claddasant Isaac a Re-
beccah ei wraig; ac yno y cleddais i Leah.
32 Meddiant y maes, a'r ogof *sydd* ynddo,
*a gaed* gan feibion Heth.
33 Pan orphenodd Jacob orchymyn i'w
feibion, efe a dynnodd ei draed i'r gwely,
ac a fu farw; a chasglwyd ef at ei bobl.

PEN. L.

Ion. 27. B. 1 *Arwyl Jacob. 4 Joseph yn cael cennad gan
Pharaoh i fyned i'w gladdu ef. 7 Y cladde-
digaeth. 15 Joseph yn cysuro ei frodyr, y
rhai oedd yn gofyn ei nawdd ef. 22 Ei
oedran. 23 Mae efe yn gweled y drydedd
genhedlaeth o'i feibion: 24 yn darogan
i'w frodyr eu dychweliad: 25 yn cym-
meryd llw ganthynt am ei esgyrn: 26 yn
marw, ac yn cael ei roddi mewn arch.*

1689.
a Pen. 46. 4. YNA [a] y syrthiodd Joseph ar wyneb ei
dad, ac a wylodd arno ef, ac a'i cu-
sanodd ef.
2 Gorchymynodd Joseph hefyd i'w weis-
b 2 Chron. 16. 14. ion, y meddygon, [b] ber-arogli ei dad ef:
felly y meddygon a ber-aroglasant Israel.
Io. 19. 40 3 Pan gyflawnwyd iddo ddeugain ni-
wrnod (canys felly y cyflawnir dyddiau 'r
rhai a ber-aroglir) yna 'r Aiphtiaid a'i har-
wylasant ef ddeng niwrnod a thrugain.
4 Pan aeth dyddiau ei arwyl ef heibio,
yna y llefarodd Joseph wrth deulu Pharaoh,
gan ddywedyd, Os cefais yr awr hon ffafr
yn eich golwg, lleferwch wrth Pharaoh, at-
tolwg, gan ddywedyd,
c Pen. 47. 29. 5 [c] Fy nhad a'm tyngodd, gan ddywedyd,
d 2 Chron. 16. 14. Wele fi yn marw: yn fy medd [d] yr hwn
a gloddiais im' yngwlâd Canaan, yno y'm
Pen. 23. 16. cleddi. Ac yr awr hon caffwyf fyned i fynu,
Mat. 27. 60. attolwg, fel y claddwyf fy nhad; yna mi a
ddychwelaf.
6 A dywedodd Pharaoh, Dos i fynu, a
chladd dy dad, fel y 'th dyngodd.
7 ¶ A Joseph a aeth i fynu i gladdu ei
dad: a holl weision Pharaoh, *sef* henuriaid
ei dy ef, a holl henuriaid gwlad yr Aipht, a
aethant i fynu gyd ag ef,

8 A holl dŷ Joseph, a'i frodyr, a thŷ ei
dad: eu rhai bach yn unig, a'u defaid, a'u
gwartheg, a adawsant yn nhir Gosen.
9 Ac aeth i fynu gyd ag ef gerbydau, a
gwŷr meirch hefyd: ac yr oedd yn llu mawr
iawn.
10 A hwy a ddaethant hyd lawr-dyrnu
Atad, yr hwn sydd dros yr Iorddonen;
ac a alarasant yno alar mawr, a thrwm
iawn: canys gwnaeth alar dros ei dad saith
niwrnod.
11 Pan welodd y Canaaneaid, y rhai
oedd yn preswylio yn y wlad, y galar yn
llawr-dyrnu Atad; yna y dywedasant, Dyma
alar trwm gan yr Aiphtiaid: am hynny y
galwasant ei enw † Abel Misraim, yr hwn † Sef,
*sydd* dros yr Iorddonen. *Galar yr*
12 A'i feibion a wnaethant iddo megis y *Aiphtiaid.*
gorchymynasai efe iddynt.
13 Canys [e] ei feibion a'i dygasant ef i e Act. 7. 16.
wlad Canaan, ac a'i claddasant ef yn ogof
maes Machpelah; yr hon [f] a brynasai Abra- f Pen. 23.
ham gyd â'r maes, yn feddiant beddrod, 16.
gan Ephron yr Hethiad, o flaen Mamre.
14 ¶ A dychwelodd Joseph i 'r Aipht, efe,
a'i frodyr, a'r rhai oll a aethant i fynu gyd
ag ef i gladdu ei dad, wedi iddo gladdu ei
dad.
15 ¶ Pan welodd brodyr Joseph farw o'u
tad, hwy a ddywedasant, Joseph ond odid
a'n casâ ni, a chan dalu a dâl i ni 'r holl
ddrwg a wnaethom ni iddo ef.
16 A hwy a ‡ anfonasant at Joseph i ddy- ‡ Heb.
wedyd, Dy dad a orchymynodd o flaen ei *gorchymyn*
farw, gan ddywedyd, *orchymyn.*
17 Fel hyn y dywedwch wrth Joseph; At-
tolwg, maddeu 'r awr hon gamwedd dy fro-
dyr, a'u pechod hwynt; canys gwnaethant
it' ddrwg: ond yr awr hon, maddeu, at-
tolwg, gamwedd gweision Duw dy dad.
Ac wylodd Joseph pan lefarasant wrtho.
18 A'i frodyr a ddaethant hefyd, ac a
syrthiasant ger ei fron ef; ac a ddyweda
sant, Wele ni yn weision i ti.
19 A dywedodd Joseph wrthynt, [g] Nac g Pen. 45.
ofnwch; canys a *ydwyf* fi yn lle Duw? 5.
20 Chwi a fwriadasoch ddrwg i'm herbyn;
ond Duw a'i bwriadodd i ddaioni, i ddwyn
i ben, fel *y gwelir* heddyw, i gadw 'n fyw
bobl lawer.
21 Am hynny, nac ofnwch yr awr hon:
myfi a'ch cynhaliaf chwi, a'ch rhai bach. Ac
efe a'u cysurodd hwynt, ac a lefarodd wrth
*fodd* eu calon.
22 ¶ A Joseph a drigodd yn yr Aipht, efe, 1635.
a theulu ei dad: a bu Joseph fyw gan mly-
nedd a deg.
23 Gwelodd Joseph hefyd, o Ephraim,
orwyrion: [h] maethwyd hefyd blant Machir, h Num. 32.
fab Manasseh, ar liniau Joseph. 39.
24 A dywedodd Joseph wrth ei frodyr,
Myfi sydd yn marw: a [i] Duw gan ymweled i Heb. 11. 22.
a ymwêl â chwi, ac a'ch dwg chwi i fynu Ex. 3. 16.
o'r wlad hon, i'r wlad [k] a dyngodd efe i k Pen. 15.
Abraham, i Isaac, ac i Jacob. 14. a 26. 3.
25 A [l] thyngodd Joseph feibion Israel, a 35. 12.
gan ddywedyd, Duw gan eich gofwyo a 46. 4.
a'ch gofwya chwi; dygwch chwithau fy l Ex. 13. 19.
esgyrn i fynu oddi yma. Jos. 24. 32. Act. 7. 16.
26 A Joseph a fu farw yn fab deng- 1635.
mlwydd a chant: a hwy a'i per-aroglasant
ef; ac efe a osodwyd mewn arch yn yr
Aipht.

# ¶ Ail Lyfr MOSES, yr hwn a elwir EXODUS.

## PEN. I.

Ion. 27. P. *1 Plant Israel, ar ol marwolaeth Joseph, yn*
*amlhâu. 8 Po mwyaf y mae'r brenhin*
*newydd yn eu gorthrymmu, mwyaf y maent*
*yn amlhâu. 15 Duwioldeb y bydwragedd,*
*yn cadw yn fyw y plant gwrryw. 22 Pha-*
*raoh yn gorchymyn bwrw'r plant gwrryw*
*i'r afon.*

Cyn DYMA yn awr [a] enwau meibion Israel,
Crist y rhai a ddaethant i'r Aipht: gyd â
1706. Jacob y daethant, bob un a'i deulu.
[a] Gen. 46. 8. 2 Reuben, Simeon, Lefi, a Judah,
Pen. 6. 14. 3 Issachar, Zabulon, a Benjamin,
4 Dan, a Naphtali, Gad, ac Aser.
5 A'r holl eneidiau a ddaethant allan o
† Hen. *lwynau.* † gorph Jacob oedd [b] ddeng henaid a thri
Heb. *forddwyd.* ugain: a Joseph oedd yn yr Aipht.
6 A [c] Joseph a fu farw, a'i holl frodyr,
a'r holl genhedlaeth hono.
1635. 7 ¶ A [d] phlant Israel a hiliasant ac a gyn-
[b] Gen. 46. 27. nyddasant, amlhasant hefyd, a chryfhasant
Deut. 10. 22. yn ddirfawr odiaeth; a'r wlad a lanwyd o
honynt.
[c] Gen. 50. 26. 8 Yna y cyfododd brenhin newydd yn yr
Aipht, yr hwn ni adnabuasai mo Joseph.
[d] Deut. 26. 5. 9 Ac efe a ddywedodd wrth ei bobl, Wele
Act. 7. 17. [e] bobl plant Israel yn amlach, ac yn gryfach,
[e] Psal. 105. 24. nâ nyni.
10 Deuwch, [f] gwnawn yn gall â hwynt;
[f] Act. 7. 19 rhag amlhâu o honynt, a bod pan ddigwyddo
rhyfel, ymgyssylltu o honynt â'n caseion, a
rhyfela i'n herbyn, a myned i fynu o'r wlad.
11 Am hynny y gosodasant arnynt feis-
[g] Gen. 15. 13. tred-gwaith, [g] i'w gorthrymmu â'u beichiau:
a hwy a adeiladasant i Pharaoh ddinasoedd
trysorau, *sef* Pithom a Raamses.
12 Ond fel y gorthrymment hwynt, felly'r
amlhaent, ac y cynnyddent: a drwg oedd
ganddynt o herwydd plant Israel.
13 A'r Aiphtiaid a wnaeth i blant Israel
wasanaethu yn galed.
14 A gwnaethant eu heinioes hwynt yn
[h] Psal. 81. 6. chwerw trwy'r gwasanaeth caled, [h] mewn
clai, ac mewn priddfaen, ac ym mhob gwa-
sanaeth yn y maes; a'u holl wasanaeth y
gwnaent iddynt wasanaethu ynddo, *oedd*
galed.
15 A brenhin yr Aipht a lefarodd wrth
fydwragedd yr Hebreesau; o ba rai enw un
*oedd* Siprah, ac enw'r ail Puah:
16 Ac efe a ddywedodd, Pan fyddoch
fydwragedd i'r Hebreesau, a gweled o ho-
noch hwynt yn esgor; os mab fydd, lledd-
wch ef; ond os merch, bydded fyw.
17 Er hynny y bydwragedd a ofnasant
DDUW, ac ni wnaethant yn ol yr hyn a
ddywedasai brenhin yr Aipht wrthynt;
eithr cadwasant y bechgyn yn fyw.
18 Am hynny brenhin yr Aipht a alwodd
am y bydwragedd, ac a ddywedodd wrth-
ynt, Pa ham y gwnaethoch y peth hyn, ac
y cadwasoch y bechgyn yn fyw?
[i] Edrych Jos. 2. 4, &c. 19 [i] A'r bydwragedd a ddywedasant wrth
Pharaoh, Am nad *yw*'r Hebreesau fel yr
2 Sam. 17. 19, 20. Aiphtiesau; oblegid y maent hwy yn fywiog,
ac yn esgor cyn dyfod bydwraig attynt.
[k] Edrych 20 Am hynny y bu DUW dda wrth y
1 Sam. 2. 35. bydwragedd: a'r bobl a amlhaodd, ac a
2 Sam. 7. 11, 27, 29. aeth yn gryf iawn.
1 Bren. 2. 24. a 11. 38. 21 Ac o herwydd i'r bydwragedd ofni
DUW, yntau [k] a wnaeth dai iddynt hwy-
thau.
Cylch 1573. 22 A Pharaoh a orchymynodd i'w holl
bobl, gan ddywedyd, [l] Pob mab a'r a enir,
[l] Act. 7. 19. bwriwch ef i'r afon; ond cedwch yn fyw
bob merch.

## PEN. II.

*1 Geni Moses, 3 a'i fwrw mewn cawell yn yr* Ion. 28. B.
*hesg. 5 Merch Pharaoh yn ei gael ef, ac*
*yn ei ddwyn i fynu. 11 Efe yn lladd Aipht-*
*wr: 13 yn ceryddu Hebrëwr: 15 yn ffoi*
*i Midian: 21 yn priodi Sephorah 22 Ge-*
*nedigaeth Gersom. 23 Duw yn ystyried*
*uchenaid yr Israeliaid.*

YNA [a] gwr o dŷ Lefi a aeth, ac a brïod- 1571.
odd ferch i Lefi. [a] Pen. 6. 20.
2 A'r wraig a feichiogodd, ac a esgorodd Num. 26.
ar fab: a phan welodd hi mai tlws ydoedd 59.
efe, [b] hi a'i cuddiodd ef dri mis. 1 Chron. 23. 13.
3 A phan na allai hi ei guddio ef yn hwy,
hi a gymmerodd gawell iddo ef o lafrwyn, [b] Act. 7. 20.
ac a ddwbiodd hwnnw â chlai ac â phyg; Heb. 11. 23.
ac a osododd y bachgen ynddo, ac a'i rhodd-
odd ym mysg yr hesg ar fin yr afon.
4 A'i chwaer ef a safodd o bell, i gael gwy-
bod beth a wnaid iddo ef.
5 ¶ A merch Pharaoh a ddaeth i wared
i'r afon i ymolchi (a'i llangcesau oedd yn
rhodio ger llaw'r afon) a hi a ganfu'r cawell
ynghanol yr hesg, ac a anfonodd ei llaw-
forwyn i'w gyrchu ef.
6 Ac wedi iddi ei agoryd, hi a ganfu'r
bachgen; ac wele'r plentyn yn wylo: a hi
a dosturiodd wrtho, ac a ddywedodd, *Un* o
blant yr Hebreaid *yw* hwn.
7 Yna ei chwaer ef a ddywedodd wrth
ferch Pharaoh, A af fi i alw attat famnaeth
o'r Hebreesau, fel y mago hi'r bachgen i ti?
8 A merch Pharaoh a ddywedodd wrthi,
Dos. A'r llangces a aeth ac a alwodd fam y
bachgen.
9 A dywedodd merch Pharaoh wrthi,
Dwg ymaith y bachgen hwn, a maga ef i
mi, a minnau a roddaf i ti dy gyflog. A'r
wraig a gymmerodd y bachgen, ac a'i ma-
godd.
10 Pan aeth y bachgen yn fawr, hi a'i
dug ef i ferch Pharaoh; ac efe a fu iddi yn
fab: a hi a alwodd ei enw ef † Moses; O † Sef, *Un a*
herwydd (eb hi) o'r dwfr y tynnais ef. *dynnwyd allan.*
11 ¶ A bu yn y dyddiau hynny, [c] pan [c] Act. 7.
aeth Moses yn fawr, fyned o hono allan at 23.
ei frodyr, ac edrych ar eu beichiau hwynt, Heb. 11. 24.
a gweled Aiphtwr yn taro Hebrëwr, *un* o'i
frodyr.
12 Ac efe a edrychodd yma ac accw; a 1531.
phan welodd nad *oedd yno* neb, efe a ladd-
odd yr Aiphtiad, ac a'i cuddiodd yn y ty-
wod.
13 Ac [d] efe a aeth allan yr ail dydd; ac [d] Act. 7. 26.
wele ddau Hebrëwr yn ymryson: ac efe a
ddywedodd wrth yr hwn oedd ar y cam, Pa
ham y tarewi dy gyfaill?
14 A dywedodd yntau, Pwy a'th osododd
di yn ‡ bennaeth ac yn frawdwr arnom ni? ‡ *dywysog.*
ai meddwl yr wyt ti fy lladd i, megis y
lleddaist yr Aiphtiad? A Moses a ofnodd, ac
a ddywedodd, Dïau y gwyddir y peth
hyn.
15 Pan glybu Pharaoh y peth hyn, efe a
geisiodd ladd Moses: ond [e] Moses a ffodd [e] Act. 7. 29.
rhag Pharaoh, ac a arhosodd yn nhir Mi-
dian; ac a eisteddodd wrth bydew.
16 Ac i § offeiriad Midian yr ydoedd § *dywysog.*
saith o ferched: a'r *rhai hynny* a ddaethant Felly Gen.
ac a dynnasant *ddwfr*, ac a lanwasant y 41. 45.
cafnau i ddyfrhâu defaid eu tad.
17 Ond y bugeiliaid a ddaethant ac a'u
gyrrasant ymaith: yna y cododd Moses, ac
a'u cynnorthwyodd hwynt, ac a ddyfrha-
odd eu praidd hwynt.
18 Yna y daethant at Reuel eu tad: ac

† *pa fodd.* efe a ddywedodd, † Pa ham y daethoch he-
ddyw cyn gynted?
19 A hwy a ddywedasant, Aiphtwr a'n
hachubodd ni o law y bugeiliaid; a chan
dynnu a dynnodd ddwfr hefyd i ni, ac a
ddyfrhaodd y praidd.
20 Ac efe a ddywedodd wrth ei ferched,
Pa le *y mae* efe? pa ham y gollyngasoch ym-
aith y gwr? Gelwch arno, a bwyttaed fara.
21 A bu Moses foddlon i drigo gyd â'r
gwr: ac yntau a roddodd Sephorah ei ferch
i Moses.
f Pen. 18. 3. 22 A hi a esgorodd ar fab; ac efe a alw-
g Heb. 11. odd ei enw ef [f] Gersom: O herwydd [g] dïeithr
13, 14. (eb efe) a fum i mewn gwlad ddïeithr.
h Pen. 7. 7. 23 ¶ Ac [h] yn ol dyddiau lawer, bu farw
Act. 7. 30. brenhin yr Aipht; a phlant Israel [i] a uche-
i Num. 20. 16. neidiasant oblegid y caethiwed, ac a waedd-
k Gen. 18. 20. asant; [k] a'u gwaedd hwynt a ddyrchafodd
Pen. 22. 23, 27. at Dduw, oblegid y caethiwed.
Deut. 24. 15. 24 A Duw a glybu eu huchenaid hwynt;
Iag. 5. 4. a Duw a gofiodd ei [l] gyfammod ag Abra-
l Gen. 15. ham, ag Isaac, ac â Jacob.
14. a 46. 4. 25 A Duw a edrychodd ar blant Israel;
m Pen. 3. 7. Duw hefyd [m] a gydnabu *â hwynt.*

## PEN. III.

Sul 5 o'r Grawys, B. Ion. 28. P.
*1 Moses yn bugeilio defaid Jethro. 2 Duw yn ymddangos iddo mewn perth yn llosgi; 9 ac yn ei anfon ef i waredu Israel. 14 Enw Duw. 15 Ei gennadwriaeth ef at Israel.*

1491. A Moses oedd yn bugeilio defaid Jethro,
† Neu, *dad ynghyfraith.* ei † chwegrwn, offeiriad Midian: ac efe
a yrrodd y praidd o'r tu cefn i'r anialwch, ac
a ddaeth i [a] fynydd Duw, Horeb.
a Pen. 18. 5. 2 Ac angel yr Arglwydd a ymddango-
sodd iddo mewn [b] fflam dân o ganol perth:
1 Bren. 19. 8. ac efe a edrychodd, ac wele y berth yn llosgi
yn dân, a'r berth heb ei difa.
b Deut. 33. 16. 3 A dywedodd Moses, Mi a droaf yn awr,
Act. 7. 30. ac a edrychaf ar y weledigaeth fawr hon,
pa ham nad yw y berth wedi llosgi.
4 Pan welodd yr Arglwydd ei fod efe yn
c Deut. 33. 16. troi i edrych, Duw a alwodd arno [c] o ganol
y berth, ac a ddywedodd, Moses, Moses. A
dywedodd yntau, Wele fi.
5 Ac efe a ddywedodd, Na nesâ yma:
d Ios. 5. 15. [d] diosg dy esgidiau oddi am dy draed; o
Act. 7. 33. herwydd y lle 'r wyt ti 'n sefyll arno sydd
ddaear sanctaidd.
e Mat. 22. 32. 6 Ac efe a ddywedodd, [e] Myfi *yw* Duw
dy dad, Duw Abraham, Duw Isaac, a Duw
Marc 12. 26. Jacob. A Moses a guddiodd ei wyneb;
Luc 20. 37. oblegid [f] ofni 'r ydoedd edrych ar Dduw.
Act. 7. 32. 7 ¶ A dywedodd yr Arglwydd, Gan
f Felly 1 Bren. 19. 13. weled y gwelais gystudd fy mhobl sydd yn
yr Aipht, [g] a'u gwaedd o achos eu meistred-
Esay 6. 2, 5. gwaith a glywais; canys mi a wn oddi wrth
eu doluriau.
g Pen. 2. 23. 8 A [h] mi a ddisgynais i'w gwaredu hwy
h Gen. 11. o law 'r Aiphtiaid, ac i'w dwyn o'r wlad
5, 7. a 18. 21. honno, i wlad dda a helaeth, i wlad yn
llifeirio o laeth a mel; i le [i] 'r Canaaneaid,
i Gen. 15. 18. a'r Hethiaid, a'r Amoriaid, a'r Phereziaid,
yr Hefiaid hefyd, a'r Jebusiaid.
9 Ac yn awr wele, gwaedd meibion Israel
a ddaeth attaf fi; a hefyd mi a welais y gor-
thrymder â'r hwn y gorthrymmodd yr
Aiphtiaid hwynt.
k Psal. 105. 26. 10 [k] Tyred gan hynny yn awr, a mi a'th
anfonaf at Pharaoh; fel y dygech fy mhobl,
plant Israel, allan o'r Aipht.
l Edrych 11 ¶ A dywedodd Moses wrth Dduw,
Esay 6. 5, 8. [l] Pwy ydwyf fi, fel yr awn i at Pharaoh, ac
Jer. 1. 6. y dygwn blant Israel allan o'r Aipht?
m Jos. 1. 5. 12 Dywedodd yntau, Diau [m] y byddaf
gyd â thi; a hyn a fydd arwydd it' mai
myfi a'th anfonodd: Wedi it' ddwyn fy
mhobl allan o'r Aipht, chwi a wasanaeth-
wch Dduw ar y mynydd hwn.
13 A dywedodd Moses wrth Dduw, Wele,
*pan* ddelwyf fi at feibion Israel, a dywedyd
wrthynt, Duw eich tadau a'm hanfonodd
attoch; os dywedant wrthyf, Beth *yw* ei
enw ef? beth a ddywedaf fi wrthynt?
14 A Duw a ddywedodd wrth Moses,
YDWYF YR HWN YDWYF: dywedodd
hefyd, Fel hyn yr adroddi wrth feibion Is-
rael; [n] YDWYF a'm hanfonodd attoch. n Pen. 6. 3.
15 A Duw a ddywedodd drachefn wrth 2 Cor. 1. 20.
Moses, Fel hyn y dywedi wrth feibion Is- Heb. 13. 8.
rael; Arglwydd Dduw eich tadau, Duw Dat. 1. 4.
Abraham, Duw Isaac, a Duw Jacob, a'm
hanfonodd attoch: dyma [o] fy enw byth, a o Psal. 135.
dyma fy nghoffadwriaeth, o genhedlaeth i 13.
genhedlaeth.
16 Dos a [p] chynnull henuriaid Israel, a p Pen. 4.
dywed wrthynt, Arglwydd Dduw eich 29.
tadau, Duw Abraham, Isaac, a Jacob, a
ymddangosodd i mi, gan ddywedyd, [q] Gan q Gen. 50.
ymweled yr ymwelais â chwi, a *gwelais* yr 24.
hyn a wnaed i chwi yn yr Aipht.
17 A dywedais, Mi a'ch dygaf chwi i fynu,
o adfyd yr Aipht, i wlad y Canaaneaid, a'r
Hethiaid, a'r Amoriaid, a'r Phereziaid, yr
Hefiaid hefyd, a'r Jebusiaid; i wlad yn
llifeirio o laeth a mel.
18 A [r] hwy a wrandawant ar dy lais; a r Pen. 4.
thi a ddeui, ti a henuriaid Israel, at frenhin 31.
yr Aipht, a dywedwch wrtho, Arglwydd
[s] Dduw yr Hebreaid a gyfarfu â ni; ac yn s Pen. 5. 3.
awr gad i ni fyned, attolwg, daith tri diwr-
nod i'r anialwch, fel yr aberthom i'r Ar-
glwydd ein Duw.
19 ¶ A mi a wn na edy brenhin yr Aipht
i chwi fyned, ond mewn llaw gadarn.
20 Am hynny mi a estynaf fy llaw, ac a
darawaf yr Aipht â'm holl ryfeddodau, y
rhai a wnaf yn ei chanol; ac wedi hynny
efe a'ch gollwng chwi ymaith.
21 A rhoddaf hawddgarwch i'r bobl hyn
yngolwg yr Aiphtiaid: a bydd, [t] pan eloch, t Gen. 15. 14.
nad eloch yn waglaw;
22 [u] Ond *pob* gwraig a fenthyccia gan ei u Pen. 11.
chymydoges, a chan yr hon fyddo yn cyttal 2. a 12. 35.
â hi, ‡ ddodrefn arian, a dodrefn aur, a ‡ *dlysau.*
gwisgoedd: a chwi a'u gosodwch *hwynt* am x Ezec. 39. 10.
eich meibion, ac am eich merched; ac [x] a § Neu,
yspeiliwch yr § Aiphtiaid. *Aipht.*

## PEN. IV.

*1 Troi gwïalen Moses yn sarph. 6 Ei law ef yn gwahan-glwyfo. 10 Efe yn anewyllysgar i'w anfon. 14 Apwyntio Aaron i'w helpu ef. 18 Moses yn ymadael oddi wrth Jethro. 21 Cennadwriaeth Duw at Pharaoh. 24 Sephorah yn enwaedu ar ei mab. 27 Danfon Aaron i gyfarfod â Moses. 31 Y bobl yn credu iddynt.* Ion. 29. B.

A Moses a attebodd, ac a ddywedodd, Etto 1491.
wele ni chredant i mi, ac ni wrandaw-
ant ar fy llais; onid dywedant, Nid ym-
ddangosodd yr Arglwydd i ti.
2 A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho,
Beth sydd yn dy law? Dywedodd yntau,
Gwïalen.
3 Ac efe a ddywedodd, Tafl hi ar y
ddaear. Ac efe a'i taflodd hi ar y ddaear; a
hi a aeth yn sarph: a Moses a giliodd rhagddi.
4 Yr Arglwydd hefyd a ddywedodd
wrth Moses, Estyn dy law, ac ymafael yn ei
llosgwrn hi. Ac efe a estynodd ei law, ac a

ymaflodd ynddi; a hi a aeth yn wïalen yn ei law ef.

5 Fel y credant ymddangos i ti o ARGLWYDD DDUW eu tadau, Duw Abraham, Duw Isaac, a Duw Jacob.

6 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrtho drachefn, Dod yn awr dy law yn dy fynwes. Ac efe a roddodd ei law yn ei fynwes: a *phan* dynnodd efe hi allan, wele ei law ef yn wahan-glwyfol [a] fel yr eira.

[a] Num. 12. 10. 2 Bren. 5. 27.

7 Ac efe a ddywedodd, Dod eilwaith dy law yn dy fynwes. Ac efe a roddodd eilwaith ei law yn ei fynwes, ac a'i tynnodd hi allan o'i fynwes; ac wele, hi a droisai fel ei gnawd *arall* ef.

8 A bydd, oni chredant i ti, ac oni wrandawant ar lais yr arwydd cyntaf, etto y credant i lais yr ail arwydd.

9 A bydd, oni chredant hefyd i'r ddau arwydd hyn, ac oni wrandawant ar dy lais, ti a gymmeri o ddwfr yr afon ac a'i tywellti ar y sychdir; † a bydd [b] y dyfroedd a gymmerech o'r afon yn waed ar y tir sych.

† Heb. *bydd a bydd.*
[b] Pen. 7. 19.

10 ¶ A dywedodd Moses wrth yr ARGLWYDD, O fy Arglwydd, ni *bûm* wr ‡ ymadroddus, § na chyn hyn, nac er pan leferaist wrth dy was; eithr [c] safndrwm a thafodtrwm ydwyf.

‡ *o eiriau.*
§ Heb. *na doe nac echdoe.*
[c] Pen. 6. 12.

11 A dywedodd yr ARGLWYDD wrtho, [d] Pwy a wnaeth enau i ddyn? neu pwy a ordeiniodd fudan, neu fyddar, neu 'r neb sy'n gweled, neu 'r dall? onid myfi 'r ARGLWYDD?

[d] Psal. 94. 9.

12 Am hynny dos yn awr; a mi a fyddaf [e] gyd â'th enau, ac a ddysgaf i ti yr hyn a ddywedych.

[e] Mat. 10. 19. Marc 13. 11. Luc 12. 11.

13 Dywedodd yntau, O fy Arglwydd, danfon, attolwg, gyd â'r *hwn* a ‖ ddanfonych.

‖ *ddylit ei ddanfon.*

14 Ac ennynodd digofaint yr ARGLWYDD yn erbyn Moses; ac efe a ddywedodd, Onid dy frawd *yw* Aaron y Lefiad? mi a wn y medr efe lefaru yn groyw: ac wele efe yn dyfod allan i'th gyfarfod; a phan y'th welo, efe a lawenycha yn ei galon.

15 [f] Llefara dithau wrtho ef, a gosod y geiriau hyn yn ei enau: a minnau a fyddaf gyd â'th enau di, a chyd â'i enau yntau, a dysgaf i chwi 'r hyn a wneloch.

[f] Pen. 7. 1, 2.

16 A llefared yntau trosot ti wrth y bobl: ac felly y bydd efe yn lle genau i ti, [g] a thithau a fyddi yn lle Duw iddo yntau.

[g] Pen. 7. 1.

17 Cymmer hefyd y wïalen hon yn dy law, yr hon y gwnai wyrthiau â hi.

18 ¶ A Moses a aeth, ac a ddychwelodd at † Jethro ei chwegrwn, ac a ddywedodd wrtho, Gad i mi fyned, attolwg, a dychwelyd at fy mrodyr *sydd* yn yr Aipht, a gweled a ydynt etto yn fyw. A dywedodd Jethro wrth Moses, Dos mewn heddwch.

† Heb. *Jether.*

19 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Moses ym Midian, Dos, dychwel i'r Aipht; o herwydd [h] bu feirw yr holl wŷr oedd yn ceisio dy einioes.

[h] Pen. 2. 15, 23. Mat. 2. 20.

20 A Moses a gymmerth ei wraig, a'i feibion, ac a'u gosododd hwynt ar asyn, ac a ddychwelodd i wlad yr Aipht: cymmerodd Moses hefyd wïalen Duw yn ei law.

21 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, Pan elych i ddychwelyd i'r Aipht, gwel it' wneuthur ger bron Pharaoh yr holl ryfeddodau a roddais yn dy law: ond [i] mi a galedaf ei galon ef, fel na ollyngo ymaith y bobl.

[i] Pen. 7. 3, 13. a 9. 12. a 10. 1. a 14. 8. Deut. 2. 30. Jos. 11. 20. Esay 63. 17. Io. 12. 40. Rhuf. 9. 18.

22 A dywed wrth Pharaoh, Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD; [k] Fy mab i, *sef* [l] fy nghyntaf-anedig, *yw* Israel.

[k] Rhuf. 9. 4.
[l] Jer. 31. 9. Iago 1. 18.

23 A dywedais wrthyt, Gollwng fy mab, fel y'm gwasanaetho: ond os gwrthodi ei ollwng ef, wele [m] mi a laddaf dy fab di, *sef* dy gyntaf-anedig.

[m] Pen. 11. 5. a 12. 29.

24 ¶ A bu, ar y ffordd yn y llety, [n] gyfarfod o'r ARGLWYDD ag ef, a cheisio ei ladd ef.

[n] Num. 22. 22.

25 Ond Sephorah a gymmerth ‡ [o] gyllell lem, ac a dorrodd ddïenwaediad ei mab, ac a'i bwriodd i gyffwrdd â'i draed ef; ac a ddywedodd, Diau dy *fod* yn brïod gwaedlyd i mi.

‡ Neu, *garreg.*
[o] Jos. 5. 2, 3.

26 A'r *ARGLWYDD* a beidiodd ag ef: yna y dywedodd hi, Prïod gwaedlyd wyt, oblegid yr enwaediad.

27 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Aaron, Dos i gyfarfod â Moses i'r anialwch. Ac efe a aeth, ac a gyfarfu ag ef ym [p] mynydd Duw, ac a'i cusanodd ef.

[p] Pen. 3. 1.

28 A Moses a fynegodd i Aaron holl eiriau 'r ARGLWYDD, yr hwn a'i hanfonasai ef, a'r holl arwyddion, a orchymynasai efe iddo.

29 ¶ A Moses ac Aaron a aethant, ac a gynnullasant holl henuriaid meibion Israel.

30 Ac Aaron a draethodd yr holl eiriau a lefarasai 'r ARGLWYDD wrth Moses, ac a wnaeth yr arwyddion yngolwg y bobl.

31 A chredodd y bobl: a phan glywsant ymweled o'r ARGLWYDD â meibion Israel, ac iddo edrych ar eu gorthrymder, yna [q] hwy a ymgrymmasant, ac a addolasant.

[q] Pen. 12. 27.

## PEN. V.

1 *Pharaoh yn rhoddi senn i Moses ac Aaron, am eu cennadwriaeth: 5 yn ychwanegu tasg yr Israeliaid: 15 yn eu ceryddu hwynt am eu hachwynion. 21 Hwythau yn llefain yn erbyn Moses ac Aaron. 22 Moses yn cwyno wrth Dduw.*

Sul 5 o'r Grawys, P Ion. 29. P.

AC wedi hynny, Moses, ac Aaron a aethant i mewn, ac a ddywedasant wrth Pharaoh, Fel hyn y dywedodd ARGLWYDD DDUW Israel; Gollwng ymaith fy mhobl, fel y cadwont wyl i mi yn yr anialwch. 1491.

2 A dywedodd Pharaoh, [a] Pwy yw 'r ARGLWYDD, fel y gwrandâwn i ar ei lais, i ollwng Israel ymaith? Yr ARGLWYDD nid adwaen, ac Israel ni ollyngaf.

[a] Job 21. 15.

3 A dywedasant hwythau, [b] Duw 'r Hebreaid a gyfarfu â ni: gad i ni fyned, attolwg, daith tridiau yn yr anialwch, ac aberthu i'r ARGLWYDD ein DUW; rhag iddo ein rhuthro â haint, neu â chleddyf.

[b] Pen. 3. 18.

4 A dywedodd brenhin yr Aipht wrthynt, Moses ac Aaron, pa ham y perwch i'r bobl beidio â'u gwaith? ewch at eich beichiau.

5 Pharaoh hefyd a ddywedodd, Wele pobl y wlad yn awr ydynt lawer, a pharasoch iddynt beidio â'u llwythau.

6 A gorchymynodd Pharaoh, y dydd hwnnw, i'r rhai oedd feistred-gwaith ar y bobl, a'u swyddogion, gan ddywedyd,

7 Na roddwch mwyach wellt i'r bobl i wneuthur priddfeini, megis o'r blaen; elant a chasglant wellt iddynt eu hunain.

8 A rhifedi 'r priddfeini y rhai yr oeddynt hwy yn ei wneuthur o'r blaen a roddwch arnynt; na leihêwch o hynny: canys segur ydynt; am hynny y maent yn gweiddi, gan ddywedyd, Gad i ni fyned ac aberthu i'n Duw.

9 Trymhâer y gwaith ar y gwŷr, a gweithiant ynddo; fel nad edrychant am eiriau ofer.

10 ¶ A meistred-gwaith y bobl, a'u swyddogion, a aethant allan, ac a lefarasant

wrth y bobl, gan ddywedyd, Fel hyn y dy-
wed Pharaoh; Ni roddaf wellt i chwi.
11 Ewch chwi, a cheisiwch iwch' wellt
lle y caffoch; er hynny ni leihêir dim o'ch
gwaith.
12 A'r bobl a ymwasgarodd trwy holl
wlad yr Aipht, i gasglu sofl yn lle gwellt.
13 A'r meistred-gwaith oedd yn eu pry-
suro, gan ddywedyd, Gorphenwch eich
gwaith, dogn dydd yn ei ddydd, megis pan
oedd gwellt.
14 A churwyd swyddogion meibion Is-
rael, y rhai a osodasai meistred-gwaith Pha-
raoh arnynt hwy; a dywedwyd, Pa ham na
orphenasoch eich tasg, ar wneuthur pridd-
feini, ddoe a heddyw, megis cyn hynny?
15 ¶ Yna swyddogion meibion Israel a
ddaethant ac a lefasant ar Pharaoh, gan ddy-
wedyd, Pa ham y gwnai fel hyn â'th wei-
sion?
16 Gwellt ni roddir i'th weision; a
Gwnewch briddfeini i ni, meddant: ac
wele dy weision a gurwyd; a'th bobl di dy
hun sydd ar y bai.
17 Ac efe a ddywedodd, Segur, segur
ydych; am hynny'r ydych chwi yn dy-
wedyd, Gad i ni fyned *ac* aberthu i'r AR-
GLWYDD.
18 Am hynny ewch yn awr, gweithiwch;
ac ni roddir gwellt i chwi: etto chwi a
roddwch yr *un* cyfrif o'r priddfeini.
19 A swyddogion meibion Israel a'u gwe-
lent eu hun mewn *lle* drwg, pan ddywedid,
Na leihêwch *ddim* o'ch priddfeini, dogn dydd
yn ei ddydd.
20 ¶ A chyfarfuant â Moses ac Aaron, yn
sefyll ar eu ffordd, pan oeddynt yn dyfod
allan oddi wrth Pharaoh:
21 A dywedasant wrthynt, Edryched yr
ARGLWYDD arnoch chwi, a barned; am i
c Gen. 34. 30. chwi beri i'n sawyr ni c ddrewi ger bron
Pharaoh, a cher bron ei weision, gan roddi
cleddyf yn eu llaw hwynt i'n lladd ni.
22 A dychwelodd Moses at yr AR-
GLWYDD, ac a ddywedodd, O ARGLWYDD,
pa ham y drygaist y bobl hyn? i ba beth y'm
hanfonaist?
23 Canys er pan ddaethum at Pharaoh, i
lefaru yn dy enw di, efe a ddrygodd y bobl
hyn; a chan waredu ni waredaist dy bobl.

## PEN. VI.

Ion. 30. B. h. w. 14. 1 *Duw yn adnewyddu ei addewid, trwy ei enw JEHOFAH.* 14 *Achau Reuben,* 15 *Simeon,* 16 *a Lefi; o'r hwn y daeth Moses ac Aaron.*

1491. YNA y dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, Yn awr y cai weled beth a
a Pen. 3. 19. wnaf i Pharaoh: canys a trwy law gadarn y
b Pen. 12. 33, 39. gollwng efe hwynt, a thrwy law gadarn b y
gyrr efe hwynt o'i wlad.
2 Duw hefyd a lefarodd wrth Moses, ac a
† Neu, IOR. ddywedodd wrtho, Myfi *yw* † JEHOFAH.
3 A mi a ymddangosais i Abraham, i
c Gen. 17. 1. a 35. 11. a 48. 3. Isaac, ac i Jacob, dan enw c Duw Holl-
alluog: ond erbyn fy enw d JEHOFAH ni
bûm adnabyddus iddynt.
d Pen. 3. 14. 4 Hefyd mi a sicrhêais fy nghyfammod â
e Gen. 17. 8. a 28. 4. hwynt, e am roddi iddynt wlad Canaan,
sef gwlad eu hymdaith, yr hon yr ymdeithi-
asant ynddi.
f Pen. 2. 24. 5 A f mi a glywais hefyd ochenaid plant
Israel, y rhai y mae'r Aiphtiaid yn eu
caethiwo, a chofiais fy nghyfammod.
6 Am hynny dywed wrth feibion Israel,
Myfi yw yr ARGLWYDD, a myfi a'ch dygaf
chwi allan oddi tan lwythau'r Aiphtiaid, ac
a'ch rhyddhâf o'u caethiwed hwynt; ac a'ch
gwaredaf â braich estynedig, ac â barne-
digaethau mawrion.
7 Hefyd mi a'ch cymmeraf yn bobl i mi,
ac a fyddaf yn DDUW i chwi; a chewch
wybod mai myfi *yw*'r ARGLWYDD eich
DUW, yr hwn sydd yn eich dwyn chwi allan
oddi tan lwythau'r Aiphtiaid.
8 A mi a'ch dygaf chwi i'r wlad, am yr
hon ‡ y g tyngais y rhoddwn hi i Abraham, ‡ Heb.
i Isaac, ac i Jacob; a mi a'i rhoddaf i chwi *codais fy*
yn etifeddiaeth: myfi *yw* yr ARGLWYDD. *llaw.* Edrych
9 ¶ A Moses a lefarodd felly wrth feibion Gen. 14. 22.
Israel: ond ni wrandawsant ar Moses, gan Deut. 32. 40.
gyfyngdra yspryd, a chan gaethiwed caled. g Gen. 15.
10 A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, 14. a 26.
gan ddywedyd, 3. a 35. 12.
11 Dos i mewn; dywed wrth Pharaoh,
brenhin yr Aipht, am iddo ollwng meibion
Israel allan o'i wlad.
12 A Moses a lefarodd ger bron yr AR-
GLWYDD, gan ddywedyd, Wele, plant
Israel ni wrandawsant arnaf fi; a pha fodd
y'm gwrandawai Pharaoh, a minnau h yn h Pen. 4. 10.
ddïenwaededig o wefusau? a ad. 30.
13 A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth
Moses ac Aaron, ac a roddodd orchymyn
iddynt at feibion Israel, ac at Pharaoh
brenhin yr Aipht, i ddwyn meibion Israel
allan o wlad yr Aipht.
14 ¶ Dyma eu pencenedl hwynt: i meibion i Gen. 46. 6.
Reuben, y cyntaf-anedig i Israel; Hanoch, 1 Chron. 5.
a Phalu, Hesron, a Charmi: dyma deuluoedd 3.
Reuben.
15 k A meibion Simeon; Jemuel, a Ja- k 1 Chron.
min, Ohad, a Jachin, Sohar hefyd, a Saul 4. 24.
mab y Ganaanees: dyma deuluoedd Simeon.
16 ¶ Dyma hefyd enwau l meibion Lefi, 1619.
yn ol eu cenhedlaethau; Gerson, Cohath l Num. 3.
hefyd, a Merari: a blynyddoedd oes Lefi 17. 1 Chron. 6.
*oedd* gant ac onid tair blynedd deugain. 1, 16.
17 m Meibion Gerson; Libni, a Simi, yn m 1 Chron.
ol eu teuluoedd. 6. 17. a 23. 7.
18 A n meibion Cohath; Amram, ac Ishar, n Num. 26.
Hebron hefyd, ac Uzzïel: a blynyddoedd 57.
oes Cohath oedd dair ar ddeg ar hugain a 1 Chron. 6.
chan mlynedd. 2, 18.
19 o Meibion Merari *oedd* Mahali, a o 1 Chron.
Musi: dyma deuluoedd Lefi, yn ol eu cen- 6. 19.
hedlaethau. a 23. 21.
20 Ac p Amram a gymmerodd Jochebed, p Pen. 2. 1.
ei fodryb chwaer ei dad, yn wraig iddo; Num. 26.
a hi a ymddûg iddo Aaron a Moses: a bly- 59.
nyddoedd oes Amram *oedd* onid tair deu-
gain a chan mlynedd.
21 ¶ A q meibion Ishar; Corah, a Ne- q Num. 16.
pheg, a Sicri. 1.
22 A r meibion Uzzïel; Misael, ac Elsa- 1 Chron. 6. 37, 38.
phan, a Sithri.
23 Ac Aaron a gymmerodd Eliseba, merch Cylch
s Aminadab, chwaer Nahason, yn wraig 1530.
iddo; a hi a ymddûg iddo t Nadab ac r Lef. 10. 4.
Abihu, Eleazar ac Ithamar. Num. 3. 30.
24 Meibion Corah hefyd; Assir, ac El- s Ruth 4.
canah, ac Abïasaph: dyma deuluoedd y 19, 20.
Corahiaid. 1 Chron. 2. 10.
25 Ac Eleazar, mab Aaron, a gymmer- t Num. 3.
odd yn wraig iddo *un* o ferched Putiel; a 2. a 26. 60.
u hi a ymddûg iddo ef Phineas: dyma 1 Chron.
bennau cenedl y Lefiaid, yn ol eu teuluoedd. 6. 3. a 24. 1.
26 Dyma Aaron a Moses, y rhai y dy- u Num. 25.
wedodd yr ARGLWYDD wrthynt, Dygwch 11.
feibion Israel allan o wlad yr Aipht, yn ol
eu lluoedd.
27 Dyma'r rhai a lefarasant wrth Pha- 1491.

raoh, brenhin yr Aipht, am ddwyn meibion
Israel allan o'r Aipht: dyma'r Moses ac
Aaron hwnnw.
28 ¶ A bu, ar y dydd y llefarodd yr Ar-
GLWYDD wrth Moses yn nhir yr Aipht,
29 Lefaru o'r ARGLWYDD wrth Moses,
gan ddywedyd, Myfi *yw* 'r ARGLWYDD:
dywed wrth Pharaoh, brenhin yr Aipht,
yr hyn oll yr ydwyf fi yn ei ddywedyd
wrthyt.
30 A dywedodd Moses ger bron yr Ar-
x Pen. 4. 10. GLWYDD, Wele fi [x] yn ddienwaededig o
wefusau; a pha fodd y gwrendy Pharaoh
arnaf?

## PEN. VII.

Ion. 30. P. 1 *Duw yn rhoi calon ym Moses i fyned at Pharaoh. 7 Ei oedran ef. 8 Ei wialen ef yn troi yn sarph. 11 Yr hudolion yn gwneuthur y cyffelyb. 13 Caledu calon Pharaoh. 14 Cennadwriaeth Duw at Pharaoh. 19 Troi 'r afon yn waed.*

1491. A'R ARGLWYDD a ddywedodd wrth
a Pen. 4. 16. Moses, Gwel, mi a'th wneuthum [a] yn
Dduw i Pharaoh: ac Aaron dy frawd fydd
yn brophwyd i tithau.
2 Ti a leferi yr hyn oll a orchymynwyf
it'; ac Aaron dy frawd a lefara wrth Pha-
raoh, ar iddo ollwng meibion Israel ymaith
o'i wlad.
b Pen. 4. 21. 3 A [b] minnau a galedaf galon Pharaoh, ac
a amlhâf fy arwyddion a'm rhyfeddodau
yngwlad yr Aipht.
4 Ond ni wrendy Pharaoh arnoch: yna
y rhoddaf fy llaw ar yr Aipht; ac y dygaf
allan fy lluoedd, fy mhobl, meibion Israel,
c Pen. 6. 6. o wlad yr Aipht, [c] trwy farnedigaethau
mawrion.
5 A'r Aiphtiaid a gânt wybod mai myfi
*yw* yr ARGLWYDD, pan estynwyf fy llaw
ar yr Aipht, a dwyn meibion Israel allan
o'u mysg hwynt.
6 A gwnaeth Moses ac Aaron fel y gor-
chymynodd yr ARGLWYDD iddynt; ïe felly
y gwnaethant.
7 A Moses *ydoedd* fab pedwar ugain
mlwydd, ac Aaron yn fab tair blwydd a
phedwar ugain, pan lefarasant wrth Pharaoh.
8 ¶ A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth
Moses ac Aaron, gan ddywedyd,
9 Pan lefaro Pharaoh wrthych, gan ddy-
wedyd, Dangoswch gennych wyrthiau; yna
d Pen. 4. 2, 17. y dywedi wrth Aaron, [d] Cymmer dy wïalen,
a bwrw *hi* ger bron Pharaoh; a hi a â yn
sarph.
10 ¶ A Moses ac Aaron a aethant i mewn
at Pharaoh, ac a wnaethant felly, megis y
gorchymynasai 'r ARGLWYDD: ac Aaron a
fwriodd ei wïalen ger bron Pharaoh, a cher
e Gen. 41. 8. bron ei weision; a hi a aeth yn sarph.
11 A Pharaoh hefyd [e] a alwodd am y do-
f 2 Tim. 3. 8. ethion, a'r [f] hudolion: a hwythau hefyd,
*sef* swynwŷr yr Aipht, a wnaethant felly
trwy eu swynion.
12 Canys bwriasant bob un ei wïalen; a
hwy a aethant yn seirph: ond gwïalen
Aaron a lyngcodd eu gwïail hwynt.
13 A chalon Pharaoh a galedodd, fel na
g Pen. 4. 21. wrandawai arnynt hwy; [g] megis y llefaras-
ai 'r ARGLWYDD.
14 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
h Pen. 8. 15. a 10. 1, 20, 27. Moses, [h] Caledodd calon Pharaoh; gwrthod-
odd ollwng y bobl ymaith.
15 Dos at Pharaoh yn fore: wele efe a
ddaw allan i'r dwfr; saf dithau ar lann yr
afon erbyn ei ddyfod ef; a chymmer yn dy
law y wialen a drodd yn sarph.



16 A dywed wrtho ef, ARGLWYDD
DDUW yr Hebreaid a'm hanfonodd attat, i
ddywedyd, Gollwng ymaith fy mhobl, [i] fel i Pen. 3. 12, 18. a 5. 1, 3.
y'm gwasanaethont yn yr anialwch: ac
wele, hyd yn hyn, ni wrandewit.
17 Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD;
Wrth hyn y cai wybod mai myfi *yw* yr
ARGLWYDD: [k] wele, myfi a'r wïalen *sydd* k Pen. 4. 9.
yn fy llaw a darawaf y dyfroedd *sydd* yn yr
afon, fel y tröer hwynt [l] yn waed. l Dat. 16. 6.
18 A'r pysg *sydd* yn yr afon a fyddant
feirw, a'r afon a ddrewa; a bydd blin gan
yr Aiphtiaid yfed dwfr o'r afon.
19 ¶ Yr ARGLWYDD hefyd a ddywedodd
wrth Moses, Dywed wrth Aaron, Cymmer
dy wïalen, ac estyn dy law ar ddyfroedd yr
Aipht, ar eu ffrydiau, ar eu hafonydd, ac
ar eu pyllau, ac ar eu holl † llynnau dy- † Heb. *casgliad eu dyfroedd.*
froedd, fel y byddont yn waed; a bydd
gwaed trwy holl wlad yr Aipht, yn eu
*llestri* coed a cherrig hefyd.
20 A Moses ac Aaron a wnaethant fel y
gorchymynodd yr ARGLWYDD: ac efe [m] a m Pen. 17. 5.
gododd ei wïalen, ac a darawodd y dy-
froedd y rhai *oeddynt* yn yr afon, yngŵydd
Pharaoh, ac yngŵydd ei weision; a'r holl
[n] ddyfroedd y rhai *oeddynt* yn yr afon a n Psal. 78. 44. a 105. 29.
dröwyd yn waed.
21 A'r pysgod, y rhai oeddynt yn yr afon,
a fuant feirw; a'r afon a ddrewodd, ac ni
allai 'r Aiphtiaid yfed dwfr o'r afon; a
gwaed oedd trwy holl wlad yr Aipht.
22 [o] A swynwŷr yr Aipht a wnaethant y o Doeth. 17. 7.
cyffelyb trwy eu swynion: a chaledodd
calon Pharaoh, ac ni wrandawodd arnynt;
[p] megis y llefarasai 'r ARGLWYDD. p Adn. 3.
23 A Pharaoh a drodd ac a aeth i'w dŷ,
ac ni osododd hyn at ei galon.
24 A'r holl Aiphtiaid a gloddiasant oddi
amgylch yr afon am ddwfr i'w yfed; canys
ni allent yfed o ddwfr yr afon.
25 A chyflawnwyd saith o ddyddiau, wedi
i'r ARGLWYDD daro 'r afon.

## PEN. VIII.

1 *Danfon llyffaint. 8 Pharaoh yn ymbil â Moses. 12 A Moses trwy weddi yn eu tynnu hwynt ymaith. 16 Troi 'r llwch yn llau; yr hyn ni allai 'r swynwŷr ei wneuthur. 20 Yr heidiau ednog. 25 Pharaoh yn lled-foddlon i 'r bobl i fyned; 32 etto efe a galedir.* Ion. 31. 8.

A Dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, 1491.
Dos at Pharaoh, a dywed wrtho, Fel
hyn y dywed yr ARGLWYDD; Gollwng
ymaith fy mhobl, fel y'm gwasanaethont.
2 Ac os gwrthodi *eu* gollwng, wele, mi a
darawaf dy holl derfynau di â [a] llyffaint. a Dat. 16. 13.
3 A'r afon a heigia lyffaint, y rhai a
ddringant, ac a ddeuant i'th dŷ, ac i'stafell
dy orweddle, ac ar dy wely; ac i dŷ dy
weision, ac ar dy bobl, ac i'th ffyrnau, ac
ar dy † fwyd gweddill. † *gafnau tylino;* neu, *does.*
4 A'r llyffaint a ddringant arnat ti, ac ar
dy bobl, ac ar dy holl weision.
5 ¶ Yr ARGLWYDD hefyd a ddywedodd
wrth Moses, Dywed wrth Aaron, Estyn dy
law â'th wïalen ar y ffrydiau, ar yr afonydd,
ac ar y llynnoedd; a gwna i lyffaint ddyfod
i fynu ar hyd tir yr Aipht.
6 Ac Aaron a estynodd ei law ar ddyfr-
oedd yr Aipht; [b] a'r llyffaint a ddaethant i b Psal. 78. 45. a 105. 30.
fynu, ac a orchuddiasant dir yr Aipht.
7 [c] A'r swynwŷr a wnaethant yr un modd, c Doeth. 17. 7.
trwy eu swynion; ac a ddygasant i fynu
lyffaint ar wlad yr Aipht.

8 ¶ Yna Pharaoh a alwodd am Moses ac Aaron, ac a ddywedodd, [d] Gweddïwch ar yr ARGLWYDD, ar iddo dynnu 'r llyffaint ymaith oddi wrthyf fi, ac oddi wrth fy mhobl; a mi a ollyngaf ymaith y bobl, fel yr aberthont i'r ARGLWYDD.

d Pen. 9. 28. a 10. 17. Num. 21. 7. 1 Bren. 13. 6. Act. 8. 24.

9 A Moses a ddywedodd wrth Pharaoh, Cymmer ogoniant arnaf fi: † Pa amser y gweddïaf trosot, a thros dy weision, a thros dy bobl, am ‡ ddifa 'r llyffaint oddi wrthyt, ac o'th dai, a'u gadael yn unig yn yr afon?

† Neu, *Erbyn pa bryd.* ‡ Heb. *dorri ymaith.*

10 Ac efe a ddywedodd § Y foru. A dywedodd yntau, Yn ol dy air *y bydd;* fel y gwypech nad *oes neb* fel yr ARGLWYDD ein DUW ni.

§ Neu, *Erbyn y foru.*

11 A'r llyffaint a ymadawant â thi, ac â'th dai, ac â'th weision, ac â'th bobl; yn unig yn yr afon y gadewir hwynt.

12 A Moses ac Aaron a aethant allan oddi wrth Pharaoh. A Moses a lefodd ar yr ARGLWYDD, o achos y llyffaint y rhai a ddygasai efe ar Pharaoh.

13 A'r ARGLWYDD a wnaeth yn ol gair Moses: a'r llyffaint a fuant feirw o'r tai, o'r pentrefydd, ac o'r meusydd.

14 A chasglasant hwynt yn bentyrrau; fel y drewodd y wlad.

15 Pan welodd Pharaoh fod seibiant *iddo,* [e] efe a galedodd ei galon, ac ni wrandawodd arnynt; megis y llefarasai 'r ARGLWYDD.

e Pen. 7. 14.

16 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, Dywed wrth Aaron, Estyn dy wïalen, a tharo lwch y ddaear, fel y byddo yn llau trwy holl wlad yr Aipht.

17 Ac felly y gwnaethant. Canys Aaron a estynodd ei law â'i wïalen, ac a darawodd lwch y ddaear; ac [f] efe a aeth yn llau ar ddyn ac ar anifail: holl lwch y tir oedd yn llau trwy holl wlad yr Aipht.

f Psal. 105. 31.

18 A'r swynwŷr a wnaethant felly, trwy eu swynion, i ddwyn llau allan; ond ni allasant: felly y bu 'r llau ar ddyn ac ar anifail.

19 Yna 'r swynwŷr a ddywedasant wrth Pharaoh, [g] Bys DUW *yw* hyn: a chaledwyd calon Pharaoh, ac ni wrandawai arnynt; megis y llefarasai 'r ARGLWYDD.

g 1 Sam. 6. 3, 9. Psal. 8. 3. Mat. 12. 28. Luc 11. 20.

20 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, Cyfod yn fore a saf ger bron Pharaoh; wele efe a ddaw allan i'r dwfr: yna dywed wrtho, Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD; Gollwng ymaith fy mhobl, fel y'm gwasanaethont.

21 O herwydd, os ti ni ollyngi fy mhobl, wele fi yn gollwng arnat ti, ac ar dy weision, ac ar dy bobl, ac i'th dai, ‖ gymmysgbla; a thai 'r Aiphtiaid a lenwir o'r gymmysgbla, a'r ddaear hefyd yr hon y maent arni.

‖ *heidiau ednog.*

22 A'r dydd hwnnw [h] y neillduaf fi wlad Gosen, yr hon y mae fy mhobl yn aros ynddi, fel na byddo y gymmysgbla yno; fel y gwypech mai myfi *yw* 'r ARGLWYDD ynghanol y ddaear.

h Pen. 9. 4, 26. a 10. 23. a 12. 13.

23 A mi a osodaf † wahan rhwng fy mhobl i a'th bobl di: ‡ y foru y bydd yr arwydd hwn.

† Heb. *ymwared.* ‡ Neu, *Erbyn y foru.*

24 A'r ARGLWYDD a wnaeth felly: a [i] daeth cymmysgbla drom i dŷ Pharaoh, ac i dai ei weision, ac i holl wlad yr Aipht; a § llygrwyd y wlad gan y gymmysgbla.

i Psal. 78. 45. a 105. 31. Doe. 16. 9. § *distrywiwyd.*

25 ¶ A Pharaoh a alwodd am Moses ac Aaron, ac a ddywedodd, Ewch, aberthwch i'ch DUW yn y wlad.

26 A dywedodd Moses, Nid cymmwys gwneuthur felly; olegid nyni a aberthwn i'r ARGLWYDD ein DUW [k] ffieiddbeth yr Aiphtiaid wele, os aberthwn ffieiddbeth yr Aiphtiaid yngŵydd eu llygaid hwynt, oni labyddiant hwy ni?

k Gen. 43. 32. a 46. 34.

27 Taith [l] tridiau 'r awn i'r anialwch, a nyni a aberthwn i'r ARGLWYDD ein DUW, megis [m] y dywedo efe wrthym ni.

l Pen. 3. 12. m Pen. 3. 18.

28 A dywedodd Pharaoh, Mi a'ch gollyngaf chwi, fel yr aberthoch i'r ARGLWYDD eich DUW yn yr anialwch; ond nac ewch ym mhell: [n] gweddïwch trosof fi.

n Ad. 8. Pen. 9. 28. 1 Bren. 13. 6.

29 A dywedodd Moses, Wele, myfi a af allan oddi wrthyt, ac a weddïaf ar yr ARGLWYDD, ar gilio y gymmysgbla oddi wrth Pharaoh, oddi wrth ei weision, ac oddi wrth ei bobl, y foru: ond na thwylled Pharaoh mwyach, heb ollwng ymaith y bobl i aberthu i'r ARGLWYDD.

30 A Moses a aeth allan oddi wrth Pharaoh, ac a weddïodd ar yr ARGLWYDD.

31 A gwnaeth yr ARGLWYDD yn ol gair Moses: a'r gymmysgbla a dynnodd efe ymaith oddi wrth Pharaoh, oddi wrth ei weision, ac oddi wrth ei bobl; ni adawyd un.

32 A [o] Pharaoh a galedodd ei galon y waith honno hefyd, ac ni ollyngodd ymaith y bobl.

o Ad. 15.

## PEN. IX.

1 *Haint yr anifeiliaid.* 8 *Pla y cornwydydd llinorog.* 13 *Cennadwriaeth Moses ynghylch y cenllysg.* 22 *Pla'r cenllysg.* 27 *Pharaoh yn ymbil â Moses;* 35 *ac er hynny efe a galedir.*

Sul 6 o'r Grawys, B. Ion. 31. P.

YNA y dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, Dos i mewn at Pharaoh, a llefara wrtho ef, Fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW yr Hebreaid; Gollwng ymaith fy mhobl, fel y'm gwasanaethont. 1491.

2 Oblegid, os gwrthodi *eu* gollwng hwynt ymaith, ac attal o honot hwynt etto;

3 Wele, llaw'r ARGLWYDD fydd ar dy anifeiliaid, y rhai *sydd* yn y maes; ar feirch, ar asynod, ar gamelod, ar y gwartheg, ac ar y defaid, *y daw* haint trwm iawn.

4 A'r [a] ARGLWYDD a neilldua rhwng anifeiliaid Israel, ac anifeiliaid yr Aiphtiaid; fel na byddo marw dim o gwbl *a'r sydd* eiddo meibion Israel.

a Pen. 8. 22.

5 A gosododd yr ARGLWYDD amser nodedig, gan ddywedyd, Y foru y gwna 'r ARGLWYDD y peth hyn yn y wlad.

6 A'r ARGLWYDD a wnaeth y peth hynny drannoeth: a [b] bu feirw holl anifeiliaid yr Aiphtiaid; ond o anifeiliaid meibion Israel ni bu farw un.

b Psal. 78. 50.

7 A Pharaoh a anfonodd; ac wele, ni buasai farw un o anifeiliaid Israel: [c] a chalon Pharaoh a galedwyd, ac ni ollyngodd y bobl.

c Pen. 7. 14.

8 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses ac wrth Aaron, Cymmerwch iwch' lonaid eich llaw o ludw ffwrn, a thaned Moses ef tu a'r nefoedd yngŵydd Pharaoh:

9 Ac efe fydd yn llwch ar holl dir yr Aipht; ac a fydd ar ddyn ac ar anifail [d] yn gornwyd llinorog, trwy holl wlad yr Aipht.

d Dat. 16. 2.

10 A hwy a gymmerasant ludw 'r ffwrn, ac a safasant ger bron Pharaoh: a Moses a'i taenodd tu a'r nefoedd; ac efe a aeth [e] yn gornwyd llinorog ar ddyn ac ar anifail.

e Deut 28. 27.

11 A'r swynwŷr ni allent sefyll ger bron Moses, gan y cornwyd; oblegid yr oedd y cornwyd ar y swynwŷr, ac yr holl Aiphtiaid.

12 A'r ARGLWYDD a galedodd galon Pharaoh, fel na wrandawai arnynt; [f] megis y llefarasai yr ARGLWYDD wrth Moses.

f Pen. 4. 21.

13 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Moses, Cyfod yn fore, a saf ger bron Pha-

raoh, a dywed wrtho, Fel hyn y dywed
ARGLWYDD DDUW 'r Hebreaid; Gollwng
fy mhobl, fel y'm gwasanaethont.
14 Canys y waith hon yr anfonaf fy holl
blaau ar dy galon, ac ar dy weision, ac ar
dy bobl; fel y gwypech nad oes gyffelyb i
mi yn yr holl ddaear.
15 O herwydd yn awr, mi a estynaf fy
llaw, ac a'th darawaf di a'th bobl â haint y
nodau; a thi a dorrir ymaith oddi ar y
ddaear.
g Rhuf. 9. 17. 16 Ac yn ddïau g er mwyn hyn y'th † gy-
fodais di, i ddangos ‡ it' fy nerth; ac fel y
Edr. Pen. 14. 17. myneger fy enw trwy 'r holl ddaear.
Diar. 16. 4. 17 A wyt ti yn ymddyrchafu ar fy mhobl
1 Petr 2. 8. etto, heb eu gollwng hwynt ymaith?
† Heb. cynhaliais 18 Wele, mi a wlawiaf ynghylch yr amser
‡ fyme. yma y foru genllysg trymmion iawn; y rhai
‡ ynot. ni bu eu bath yn yr Aipht, o'r dydd y sylf-
aenwyd hi, hyd yr awr hon.
19 Anfon gan hynny yn awr, casgl dy
anifeiliaid, a phob dim a'r y sydd it' yn y
maes: pob dyn ac anifail a gaffer yn y maes,
ac ni's dyger i dŷ, y disgyn y cenllysg ar-
nynt, a byddant feirw.
20 Yr hwn a ofnodd air yr ARGLWYDD
o weision Pharaoh, a yrrodd ei weision a'i
anifeiliaid i dai;
§ Heb. ni osododd ei galon ar. 21 A'r hwn § nid ystyriodd air yr AR-
GLWYDD, a adawodd ei weision a'i ani-
feiliaid yn y maes.
22 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth
Moses, Estyn dy law tu a'r nefoedd; fel y
h Dat. 16. 21. byddo h cenllysg yn holl wlad yr Aipht, ar
ddyn ac ar anifail, ac ar holl lysiau 'r maes,
o fewn tir yr Aipht.
23 A Moses a estynodd ei wïalen tu a'r
i Psal. 78. 47. a 105. 32. nefoedd: a'r i ARGLWYDD a roddodd da-
ranau a chenllysg, a'r tân a gerddodd ar hŷd
y ddaear; a chafododd yr ARGLWYDD
genllysg ar dir yr Aipht.
24 Felly 'r ydoedd cenllysg, a thân yn
ymgymmeryd ynghanol y cenllysg, yn flin
iawn; yr hwn ni bu ei fath yn holl wlad yr
Aipht, er pan ydoedd yn genhedlaeth.
25 A'r cenllysg a gurodd, trwy holl wlad
yr Aipht, gwbl a'r *oedd* yn y maes, yn ddyn
ac yn anifail; y cenllysg hefyd a gurodd
holl lysiau 'r maes, ac a ddrylliodd holl
goed y maes:
k Pen. 8. 22. a 10. 23. a 11. 7. a 12. 13. 26 k Yn unig yngwlâd Gosen, yr hon yr
ydoedd meibion Israel ynddi, nid oedd dim
cenllysg.
27 ¶ A Pharaoh a anfonodd, ac a alwodd
ar Moses ac Aaron, ac a ddywedodd wrth-
ynt, Pechais y waith hon; yr ARGLWYDD
sydd gyfiawn, a minnau a'm pobl yn an-
nuwiol.
l Pen. 8. 8. 28. a 10. 17. Act. 8. 24. 28 l Gweddïwch ar yr ARGLWYDD (ca-
nys digon *yw hyn*) na byddo taranau Duw
na chenllysg; a mi a'ch gollyngaf, ac ni
arhoswch yn hwy.
29 A dywedodd Moses wrtho, Pan elwyf
allan o'r ddinas mi a ledaf fy nwylaw at yr
ARGLWYDD: *a'r* taranau a beidiant, a'r
cenllysg ni bydd mwy; fel y gwypych
m Psal. 24. 1. m mai 'r ARGLWYDD biau 'r ddaear.
30 Ond mi a wn nad wyt ti etto, na'th
weision, yn ofni wyneb yr ARGLWYDD
DDUW.
31 A'r llin a'r haidd a gurwyd; canys
yr haidd *oedd* wedi hedeg, a'r llin wedi
hadu:
|| Heb. cuddiedig, neu, dywyll. 32 A'r gwenith a'r rhŷg ni churwyd; o
herwydd || diweddar *oeddynt* hwy.
33 A Moses a aeth oddi wrth Pharaoh
allan o'r ddinas, ac a ledodd ei ddwylaw at
yr ARGLWYDD; a'r taranau a'r cenllysg a
beidiasant, ac ni thywalltwyd gwlaw ar y
ddaear.
34 A phan welodd Pharaoh beidio o'r
gwlaw, a'r cenllysg, a'r taranau, efe a chwa-
negodd bechu; ac a galedodd ei galon, efe
a'i weision.
35 n A chaledwyd calon Pharaoh, ac ni n Pen. 4. 21.
ollyngai efe feibion Israel ymaith; megis y
llefarasai 'r ARGLWYDD trwy law Moses.

## PEN. X.

1 *Duw yn bygwth anfon locustiaid. 7 Pha-* Sul 6 o'r Grawys. P
*raoh, ar ddeisyfiad ei weision, yn lled-foddlon* Chwenor 1. 5.
*i'r Israeliaid i fyned ymaith. 12 Pla y*
*locustiaid. 16 Pharaoh yn ymbil â Moses.*
*21 Pla y tywyllwch anferthol. 24 Pha-*
*raoh yn ymbil â Moses; 27 etto efe a*
*galon-galedir.*

A Dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, 1491.
Dos at Pharaoh: a o herwydd mi a a Pen. 4.
galedais ei galon ef, a chalon ei weision; 21. a. 7. 14.
fel y dangoswn fy arwyddion hyn yn ei
wydd ef:
2 Ac fel b y mynegit wrth dy fab, a mab b Psal. 71.
dy fab, yr hyn a wneuthum yn yr Aipht, 18. a 78. 5, &c.
a'm harwyddion a wneuthum yn eu plith
hwynt; ac y gwypoch mai myfi *yw* yr
ARGLWYDD.
3 A daeth Moses ac Aaron i mewn at
Pharaoh, a dywedasant wrtho, Fel hyn y
dywedodd ARGLWYDD DDUW 'r Hebreaid;
Pa hŷd y gwrthodi ymostwng ger fy mron?
gollwng ymaith fy mhobl, fel y'm gwasa-
naethont.
4 O herwydd os ti a wrthodi ollwng fy
mhobl, wele, y foru y dygaf c locustiaid c Doeth.
i'th fro; 16. 9.
5 A hwynt-hwy a orchuddiant † wyneb † Heb.
y ddaear, fel na allo un weled y ddaear: a lygad.
d hwy a ysant y gweddill a adawyd i chwi d Joel i. 4.
yn ddïangol gan y cenllysg; difant hefyd
bob pren a fyddo yn blaguro iwch' yn y
maes.
6 Llanwant hefyd dy dai di, a thai dy
holl weision, a thai 'r holl Aiphtiaid, y rhai
ni welodd dy dadau, na thadau dy dadau,
er y dydd y buont ar y ddaear hyd y dydd
hwn. Yna efe a drodd, ac a aeth allan
oddi wrth Pharaoh.
7 A gweision Pharaoh a ddywedasant
wrtho, Pa hŷd y bydd hwn yn fagl i ni? go-
llwng ymaith y gwŷr, fel y gwasanaethont
yr ARGLWYDD eu Duw: Oni wyddost ti
etto ddifetha 'r Aipht?
8 A dychwelwyd Moses ac Aaron at Pha-
raoh: ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch,
gwasanaethwch yr ARGLWYDD eich DUW:
*ond* ‡ pa rai sy'n myned? ‡ Heb.
9 A Moses a ddywedodd A'n llangciau, pwy a
ac â'n henafgwŷr, yr awn ni; â'n meibion phwy.
hefyd, ac â'n merched, â'n defaid, ac â'n
gwartheg, yr awn ni: oblegid *rhaid* i ni *gadw*
gwyl i'r ARGLWYDD.
10 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Yr un
modd y byddo 'r ARGLWYDD gyd â chwi,
ag y gollyngaf chwi, a'ch rhai bach: gwel-
wch, mai ar ddrwg y mae eich bryd.
11 Nid felly; ewch yn awr, y gwŷr, a
gwasanaethwch yr ARGLWYDD: canys hyn
yr oeddych yn ei geisio. Felly hwy a yrr-
wyd allan o wydd Pharaoh.
12 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, Estyn dy law ar wlad yr Aipht, am
locustiaid, fel y delont i fynu ar dir yr

Aipht; ac y bwyttaont holl lysiau 'r ddaear,
*sef* y cwbl a'r a adawodd y cenllysg.
13 A Moses a estynodd ei wialen ar dir
yr Aipht: a'r ARGLWYDD a ddug ddwy-
reinwŷnt ar y tir yr holl ddiwrnod hwnnw,
a'r holl nos honno; a *phan* ddaeth y bore,
gwŷnt y dwyrain a ddug locustiaid.
e Psal. 78. 14 A'r e locustiaid a aethant i fynu dros
46. a 105. holl wlad yr Aipht, ac a arhosasant ym mhob
34. ardal i'r Aipht: blin iawn oeddynt; f ni bu
f Joel 2. 2. y fath locustiaid o'u blaen hwynt, ac ar eu
hol ni bydd y cyffelyb.
15 Canys toisant wyneb yr holl dir, a
thywyllodd y wlad; a hwy a ysasant holl
lysiau 'r ddaear, a holl ffrwythau 'r coed, yr
hyn a weddillasai 'r cenllysg: ac ni adawyd
dim gwŷrddlesni ar goed, nac ar lysiau 'r
maes, o fewn holl wlad yr Aipht.
† Heb. *a* 16 ¶ Yna Pharaoh † a alwodd am Moses
*frysiodd i* ac Aaron ar frys; ac a ddywedodd, Pechais
*alw.* yn erbyn yr ARGLWYDD eich DUW, ac yn
eich erbyn chwithau.
17 Ac yn awr maddeu, attolwg, fy mhechod
g Pen. 9. y waith hon yn unig, a g gweddïwch ar yr
28. ARGLWYDD eich DUW, ar iddo dynnu
oddi wrthyf y farwolaeth hon yn unig.
18 A *Moses* a aeth allan oddi wrth Pha-
raoh, ac a weddïodd ar yr ARGLWYDD.
19 A'r ARGLWYDD a drodd wŷnt gor-
llewin cryf iawn, ac efe a gymmerodd
‡ Heb. ymaith y locustiaid, ac a'u ‡ bwriodd
*rhwym-* hwynt h i'r môr coch: ni adawyd un locust
*odd.* o fewn holl derfynau 'r Aipht.
h Joel 2. 20. 20 Er hynny i caledodd yr ARGLWYDD
i Pen. 4. galon Pharaoh, fel na ollyngai efe feibion
21. a 11. Israel ymaith.
10. 21 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, Estyn dy law tu a'r nefoedd, fel y
byddo tywyllwch ar dir yr Aipht, tywyllwch
a aller ei deimlo.
22 A Moses a estynodd ei law tu a'r nef-
k Psalm oedd: a bu k tywyllwch dudew trwy holl
105. 23. wlad yr Aipht dri diwrnod.
Doe. 17. 2, 23 Ni welai neb eu gilydd, ac ni chododd
&c. neb o'i le dri diwrnod: l ond yr ydoedd
l Pen. 8. 22. goleuni i holl feibion Israel yn eu trigfannau.
Doe. 18. 1. 24 ¶ A galwodd Pharaoh am Moses ac Aa-
ron, ac a ddywedodd, Ewch, gwasanaeth-
wch yr ARGLWYDD; arhôed eich defaid,
a'ch gwartheg yn unig: aed eich rhai bach
hefyd gyd â chwi.
25 A dywedodd Moses, Ti a roddi hefyd
yn ein dwylaw ebyrth, a phoeth-offrymmau,
fel yr aberthom i'r ARGLWYDD ein DUW.
26 Aed ein hanifeiliaid hefyd gyd â ni;
ni adewir ewin yn ol: oblegid o honynt y
cymmerwn i wasanaethu 'r ARGLWYDD ein
DUW: ac ni's gwyddom â pha beth y gwa-
sanaethwn yr ARGLWYDD, hyd oni ddelom
yno.
m Pen. 14. 27 ¶ Ond yr ARGLWYDD m a galedodd ga-
4, 8. lon Pharaoh, ac ni fynnai eu gollwng hwynt.
28 A dywedodd Pharaoh wrtho, Dos oddi
wrthyf, gwylia arnat rhag gweled fy wyneb
mwy: oblegid y dydd y gwelych fy wyneb,
y byddi farw.
n Heb. 11. 29 A dywedodd Moses, Union y dywedaist,
27. n ni welaf dy wyneb mwy.

PEN. XI.

Chwefr. 1 *Cennadwriaeth Duw at yr Israeliaid i fen-*
1. P. *thyccio tlysau gan eu cymmydogion.* 4 *Moses*
*yn bygwth Pharaoh â marwolaeth y cyntaf-*
*anedig.*

1491. A'R ARGLWYDD a ddywedodd wrth Mo-
ses, Un bla etto a ddygaf ar Pharaoh, ac ar
yr Aipht; wedi hynny efe a'ch gollwng chwi
oddi yma: a pan y'ch gollyngo, gan wthio a Pen. 12.
efe a'ch gwthia chwi oddi yma yn gwbl. 3, 33, 39.
2 Dywed yn awr lle y clywo 'r bobl; a
b benthycced pob gwr gan ei gymmydog, b Pen. 3. 22.
a phob gwraig gan ei chymmydoges, ddo- a 12. 35.
drefn arian, a † dodrefn aur. † *thlysau.*
3 A'r c ARGLWYDD a roddodd i'r bobl c Pen. 12.
ffafr yngolwg yr Aiphtiaid: ac *yr oedd* d Mo- 36.
ses yn wr mawr iawn yngwlâd yr Aipht, yng d Eccles. 45.
olwg gweision Pharaoh, ac yngolwg y bobl. 1.
4 Moses hefyd a ddywedodd, Fel hyn y
llefarodd yr ARGLWYDD; e Ynghylch han- e Pen. 12.
ner nos yr af fi allan i ganol yr Aipht. 29.
5 A f phob cyntaf-anedig yngwlâd yr f Pen. 12.
Aipht a fydd marw, o gyntaf-anedig Pharaoh, 12.
yr hwn sydd yn eistedd ar ei deyrn-gadair,
hyd gyntaf-anedig y wasanaethferch *sydd* ar
ol y felin; a phob cyntaf-anedig o anifail.
6 A bydd gweiddi mawr trwy holl wlad
yr Aipht, yr hwn ni bu ei fath, ac ni bydd
mwyach ei gyffelyb.
7 g Ond yn erbyn neb o blant Israel h ni g Pen. 8. 22.
symmud ci ei dafod, ar ddyn, nac anifail; fel h Jos. 10.
y gwypoch fod yr ARGLWYDD yn gwneu- 21.
thur rhagor rhwng yr Aiphtiaid ac Israel.
8 A'th i holl weision hyn a ddeuant i i Pen. 12.
wared attaf fi, ac a ymgrymmant i mi, gan 21, 33.
ddywedyd, Dos allan, a'r holl bobl *sydd* ar
dy ol; ac wedi hynny yr af fi allan. Felly
efe a aeth allan oddi wrth Pharaoh mewn
‡ digllonedd llidiog. ‡ Heb.
9 A dywedodd k yr ARGLWYDD wrth *poethder*
Moses, Ni wrendy Pharaoh arnoch; fel l yr *digllon-*
amlhaer fy rhyfeddodau yngwlâd yr Aipht. *edd.* k Pen. 3. 19.
10 A Moses ac Aaron a wnaethant yr holl a 10. 1.
ryfeddodau hyn ger bron Pharaoh: a'r m AR- l Pen. 7. 3.
GLWYDD a galedodd galon Pharaoh, fel na m Pen. 10.
ollyngai efe feibion Israel allan o'i wlad. 20.

PEN. XII.

1 *Newidio dechreuad y flwyddyn.* 3 *Ordeinio* Dydd
*'r Pasg.* 11 *Defod y Pasg.* 15 *Bara croyw* Pasg, B.
29 *Marwolaeth y cyntaf-anedig.* 31 *Gyrru* Chwefr. 2.
*'r Israeliaid allan o'r tir.* 37 *Hwythau yn* B.
*dyfod i Succoth.* 43 *Ordinhâd y Pasg.*

YR ARGLWYDD hefyd a lefarodd wrth 1491.
Moses ac Aaron yn nhir yr Aipht, gan
ddywedyd,
2 Y mis hwn *fydd* i chwi yn ddechreuad
y misoedd: cyntaf *fydd* i chwi o fisoedd y
flwyddyn.
3 ¶ Lleferwch wrth holl gynnulleidfa
Israel, gan ddywedyd, Ar y degfed *dydd* o'r
mis hwn cymmerant iddynt bob un oen, yn
ol teulu *eu* tadau, *sef* † oen dros bob teulu. † Neu,
4 Ond os y teulu fydd ry fychan i'r oen, *mynn.*
efe a'i gymmydog nesaf i'w dŷ a'i cymmer,
wrth y rhifedi o ddynion; pob un yn ol ei
fwytta a gyfrifwch at yr oen.
5 Bydded yr oen gennych a yn berffeith- a Lef. 22.
gwbl, yn wrryw, *ac* yn llwdn blwydd: o'r 20, 21.
defaid, neu o'r geifr, y cymmerwch *ef.* Mal. 1. 8.
Heb. 9. 14.
6 A bydded ynghadw gennych hyd y 1 Petr 1.
pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis hwn: a 19.
b lladded holl dyrfa cynnulleidfa Israel ef b Lef. 23. 5.
‡ yn y cyfnos. Num. 9. 3.
a 18. 10.
Deut. 16. 1.
7 A chymmerant o'r gwaed, a rhoddant ‡ Heb.
ar y ddau ystlysbost, ac ar gappan drws y *rhwng y*
tai y bwyttânt ef ynddynt. *ddau*
*hwyr.*
8 A'r cig a fwyttânt y nos honno, wedi Pen. 16. 6.
ei rostio *wrth* dân, a c bara croyw, gyd â c 1 Cor.
*dail* surion y bwyttânt ef. 5. 8.
9 Na fwyttêwch o hono yn amrwd, na
chwaith wedi ei ferwi mewn dwfr, eithr
wedi ei rostio *wrth* dân; ei ben gyd â'i
draed a'i ymysgaroedd.


D

[d] Pen. 23. 10. a 34. 25.
10 [d] Ac na weddillwch *ddim* o hono hyd
y bore: a'r hyn fydd yngweddill o hono
erbyn y bore, llosgwch yn tân.
11 ¶ Ac fel hyn y bwyttêwch ef; wedi
gwregysu 'ch lwynau, a'ch esgidiau am eich
traed, a'ch ffyn yn eich dwylaw: a bwyt-
têwch ef ar ffrwst; Pasg yr ARGLWYDD
*ydyw* efe.
12 O herwydd mi a dramwyaf trwy wlad
yr Aipht y nos hon, ac a darawaf bob cyn-
taf-anedig o fewn tir yr Aipht, yn ddyn,
[e] Num. 33. 4. ac yn anifail; [e] a mi a wnaf farn yn erbyn
holl † dduwiau 'r Aipht: myfi *yw* yr AR-
† Neu, *dywysogion.* GLWYDD.
13 A'r gwaed fydd i chwi yn arwydd ar
y tai lle *byddoch* chwi: a phan welwyf y
gwaed, yna yr af heibio i chwi, ac ni bydd
‡ Heb. *yn ddinystr.* pla ‡ dinystriol arnoch chwi, pan darawyf
dir yr Aipht.
14 A'r dydd hwn fydd yn goffadwriaeth
iwch'; a chwi a'i cedwch ef yn wyl i'r AR-
GLWYDD trwy eich cenhedlaethau: cedwch
ef yn wyl trwy ddeddf dragywyddol.
[f] Pen. 13. 6. a 23. 15. a 34. 18, 25.
15 [f] Saith niwrnod y bwyttêwch fara
croyw; y dydd cyntaf y bwriwch surdoes
allan o'ch tai: o herwydd pwy bynnag a
fwyttao fara lefeinllyd o'r dydd cyntaf hyd
[g] Gen. 17. 14. y seithfed dydd, [g] yr enaid hwnnw a dorrir
ymaith oddi wrth Israel.
16 Ar y dydd cyntaf hefyd *y bydd* i chwi
gymanfa sanctaidd, a chymanfa sanctaidd
ar y seithfed dydd: dim gwaith ni wnair
§ Heb. *enaid.* ynddynt, onid yr hyn a fwytty pob § dyn,
hynny yn unig a ellwch ei wneuthur.
17 Cedwch hefyd *wyl* y bara croyw; o
herwydd o fewn corph y dydd hwn y dygaf
eich lluoedd chwi allan o wlad yr Aipht:
am hynny cedwch y dydd hwn yn eich cen-
hedlaethau, trwy ddeddf dragywyddol.
[h] Lef. 23. 5. Num. 28. 16.
18 ¶ [h] Yn y *mis* cyntaf, ar y pedwerydd
dydd ar ddeg o'r mis yn yr hwyr, y bwyt-
têwch fara croyw, hyd yr unfed dydd ar
hugain o'r mis yn yr hwyr.
[i] Deut. 16. 3.
19 Na chaffer surdoes yn eich tai [i] saith
niwrnod: canys pwy bynnag a fwyttao fara
lefeinllyd, yr enaid hwnnw a dorrir ymaith
o gynnulleidfa Israel, yn gystal y dïeithr a'r
priodor.
20 Na fwyttêwch ddim lefeinllyd: bwyt-
têwch fara croyw yn eich holl drigfannau.
21 ¶ A galwodd Moses am holl henuriaid
Israel, ac a ddywedodd wrthynt, Tynnwch
‖ Neu, *fynn.* a chymmerwch i chwi ‖ oen yn ol eich
teuluoedd, a lleddwch y Pasg.
[k] Heb. 11. 28.
22 [k] A chymmerwch dusw o isop, a
throchwch ef yn y gwaed a *fyddo* yn y
cawg, a rhoddwch ar gappan y drws, ac ar
y ddau ystlysbost o'r gwaed a *fyddo* yn y
cawg; ac nac aed neb o honoch allan o
ddrws ei dŷ hyd y bore.
23 O herwydd yr ARGLWYDD a dram-
wya i daro 'r Aiphtiaid: a phan welo efe 'r
gwaed ar gappan y drws, ac ar y ddau
ystlysbost; yna 'r ARGLWYDD a â heibio
[l] Esec. 9. 6. Dat. 7. 3. a 9. 4. i'r drws, ac [l] ni ad i'r dinystrydd ddyfod i
mewn i'ch tai chwi i ddinystrio.
24 A chwi a gedwch y peth hyn yn ddeddf
i ti, ac i'th feibion yn dragywydd.
25 A phan ddeloch i'r wlad a rydd yr
ARGLWYDD i chwi, megis yr addawodd;
yna cedwch y gwasanaeth hwn.
[m] Jos. 4. 6.
26 [m] A bydd pan ddywedo eich meibion
wrthych, Pa wasanaeth *yw* hwn gennych?
27 Yna y dywedwch, Aberth Pasg yr AR-
GLWYDD ydyw, yr hwn a aeth heibio i dai
meibion Israel yn yr Aipht, pan darawodd
efe 'r Aiphtiaid, ac yr achubodd ein tai [n] Pen. 4. 31.
ni. Yna [n] yr ymgrymmodd y bobl, ac yr
addolasant.
28 A meibion Israel a aethant ymaith,
ac a wnaethant megis y gorchymynasai 'r
ARGLWYDD wrth Moses ac Aaron; felly y
gwnaethant.
29 ¶ Ac [o] ar hanner nos y tarawodd [p] yr [o] Pen. 11. 4.
ARGLWYDD bob cyntaf-anedig yngwlad yr [p] Num. 8. 17. a 33. 4.
Aipht, [q] o gyntaf-anedig Pharaoh 'r hwn a Psal. 78. 51. a 105. 36. a 135. 8. a 136. 10.
eisteddai ar ei frenhinfaingc, hyd gyntaf-
anedig y gaethes *oedd* yn y † carchardy; a
phob cyntaf-anedig i anifail.
30 A Pharaoh a gyfododd liw nos, efe a'i [q] Pen. 4. 23.
holl weision, a'r holl Aiphtiaid; ac yr oedd Doe. 18. 11.
gweiddi mawr yn yr Aipht: oblegid nid *oedd* † Heb. *tŷ y pydew.*
dŷ a'r nad *ydoedd* un marw ynddo.
31 ¶ Ac [r] efe a alwodd ar Moses ac Aaron [r] Psal. 105. 38.
liw nos, ac a ddywedodd, Codwch, ewch
allan o fysg fy mhobl, [s] chwi a meibion Is- [s] Pen. 10. 9.
rael hefyd; ac ewch, a gwasanaethwch yr
ARGLWYDD, fel y dywedasoch.
32 [t] Cymmerwch eich defaid, a'ch gwar- [t] Pen. 10. 26.
theg hefyd, fel y dywedasoch, ac ewch
ymaith, a bendithiwch finnau.
33 A'r Aiphtiaid a fuant daerion ar y
bobl, gan eu gyrru ar ffrwst allan o'r
wlad: oblegid dywedasant, *Dynion* meirw
ydym ni oll.
34 A'r bobl a gymmerodd eu toes cyn ei
lefeinio, a'u ‡ toes oedd wedi ei rwymo yn ‡ *cafnau tylino.*
eu dillad ar eu hysgwyddau.
35 A meibion Israel a wnaethant yn ol
gair Moses; ac [u] a fenthycciasant gan yr [u] Pen. 3. 22. a 11. 2.
Aiphtiaid dlysau arian, a § thlysau aur, a
gwisgoedd. § *dodrefn.*
36 A'r ARGLWYDD a roddasai i'r bobl
hawddgarwch yngolwg yr Aiphtiaid, fel yr
echwynasant iddynt: a [x] hwy a yspeiliasant [x] Gen. 15. 14.
yr Aiphtiaid. Pen. 3. 22. Psal. 105. 37.
37 ¶ A [y] meibion Israel a aethant o
[z] Rameses i Succoth, ynghylch [a] chwe chan
mil o wŷr traed, heb law plant. [y] Num. 33. 3, 5.
38 A phobl gymmysg lawer a aethant i
fynu hefyd gyd â hwynt; defaid hefyd a [z] Gen. 47. 11.
gwartheg, *sef* dâ lawer iawn.
39 A hwy a bobasant y toes a ddygasent [a] Pen. 38. 26.
allan o'r Aipht yn deisenau croyw; o he- Num. 1. 46.
rwydd yr oedd heb ei lefeinio: canys [b] gwthi- a 11. 21.
asid hwynt o'r Aipht, ac ni allasant aros, ac [b] Pen. 6. 1. a 11. 1.
ni pharottoisant iddynt eu hun luniaeth.
40 ¶ A phreswyliad meibion Israel, tra y
trigasant yn yr Aipht, *oedd* [c] ddeng mlynedd [c] Gen. 15. 13.
ar hugain a phedwar can mlynedd. Act. 7. 6.
41 Ac ym mhen y deng mlynedd ar hu- Gal. 3. 17.
gain a phedwar can mlynedd, ïe o fewn
corph y dydd hwnnw, yr aeth holl luoedd
yr ARGLWYDD allan o wlad yr Aipht.
42 [d] Nos yw hon i'w chadw i'r AR- [d] Edrych
GLWYDD, ar yr hon y dygwyd hwynt allan Deut. 16. 6.
o wlad yr Aipht: ‖ nos yr ARGLWYDD yw ‖ Heb.
hon, i holl feibion Israel i'w chadw trwy eu *nos cadwriaeth.*
hoesoedd.
43 ¶ Yr ARGLWYDD hefyd a ddywed-
odd wrth Moses ac Aaron, Dyma ddeddf y
Pasg: na fwyttaed neb dïeithr o hono.
44 Ond pob gwasanaethwr wedi ei brynu
am arian, gwedi yr enwaedych ef, a fwytty
o hono.
45 Yr alldud, a'r gwas cyflog, ni chaiff
fwytta o hono.
46 Mewn un tŷ y bwyttêir ef: na ddwg
*ddim* o'r cig allan o'r tŷ; ac [e] na thorrwch [e] Num. 9. 12.
asgwrn o hono. Ioan 19. 36.
47 Holl gynnulleidfa Israel a wnant hynny. [f] Num. 9. 14.
48 A [f] phan arhoso dïeithr gyd â thi, ac

ewyllysio cadw Pasg i'r ARGLWYDD, en-
waeder ei holl wrrywiaid ef, ac yna nesâed
i wneuthur hynny; a bydded fel yr hwn a
aned yn y wlad: ond na fwyttâed neb dïen-
waededig o hono.
49 Yr un gyfraith fydd i'r prïodor, ac i'r
dïeithr a arhoso yn eich mysg.
50 Yna holl feibion Israel a wnaethant
fel y gorchymynasai 'r ARGLWYDD wrth
Moses ac Aaron; felly y gwnaethant.
51 Ac o fewn corph y dydd hwnnw y
dug yr ARGLWYDD feibion Israel o wlad
[g] Pen. 6. 26. yr Aipht, [g] yn ol eu lluoedd.

## PEN. XIII.

Nos Basg, 1 *Cyssegru y cyntaf-anedig i Dduw.* 3 *Gor-*
P. *chymyn cadw coffadwriaeth o'r Pasg.* 11
Chwefr. *Neillduo 'r cyntaf o'r anifeiliaid.* 17 *Yr*
3. P. *Israeliaid wrth fyned allan o'r Aipht yn*
*dwyn esgyrn Joseph gyd â hwynt.* 20 *Yn*
*dyfod i Etham.* 21 *Duw yn eu harwain*
*mewn colofn o niwl a cholofn o dân.*
1491. A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses,
gan ddywedyd,
[a] Pen. 22. 2 [a] Cyssegra i mi bob cyntaf-anedig, *sef*
29. a 34. 19. beth bynnag a agoro 'r groth ym mysg meib-
Lef. 27. 26. ion Israel, o ddyn ac anifail: eiddo fi *yw*.
Num. 3. 13. a 8. 16, 17. 3 ¶ A dywedodd Moses wrth y bobl, Cof-
a 18. 15. iwch y dydd hwn, *ar* yr hwn y daethoch
Luc 2. 23. allan o'r Aipht, o dŷ † y caethiwed: oblegid
† Heb. *y gweision.* trwy law gadarn y dug yr ARGLWYDD
chwi oddi yno: am hynny na fwyttaer bara
lefeinllyd.
4 Heddyw yr ydych chwi yn myned allan,
[b] Pen. 23. 15. [b] ar y mis Abib.
Deut. 16. 1. 5 ¶ A phan ddygo 'r ARGLWYDD di i
wlad y Canaaneaid, a'r Hethiaid, a'r Amor-
iaid, yr Hefiaid hefyd, a'r Jebusiaid, yr hon
a dyngodd efe wrth dy dadau y rhoddai efe i
[c] Pen. 12. ti, *sef* gwlad yn llifeirio o laeth a mel; [c] yna
25, 26. y gwnai y gwasanaeth yma ar y mis hwn.
[d] Pen. 12. 6 [d] Saith niwrnod y bwyttâi fara croyw;
15, 16. ac ar y seithfed dydd *y bydd* gwyl i'r AR-
GLWYDD.
7 Bara croyw a fwyttêir saith niwrnod: ac
na weler bara lefeinllyd gyd â thi; ac na weler
gennyt surdoes o fewn dy holl derfynau.
8 ¶ A mynega i'th fab y dydd hwnnw,
gan ddywedyd, O herwydd yr hyn a wnaeth
yr ARGLWYDD i mi pan ddaethum allan
o'r Aipht, *y gwneir hyn.*
[e] Edrych 9 A bydded it' [e] yn arwydd ar dy law, ac
adn. 16. yn goffadwriaeth rhwng dy lygaid; fel y
Num. 15. 38. byddo cyfraith yr ARGLWYDD yn dy enau:
Deut. 6. 8. o herwydd â llaw gadarn y dug yr AR-
a 11. 18. GLWYDD dydi allan o'r Aipht.
Diar. 1. 9. Esay 49. 16. 10 Am hynny cadw'r ddeddf hon, yn ei
Jer. 22. 24. hamser nodedig, o flwyddyn i flwyddyn.
Mat. 23. 5. 11 ¶ A phan ddygo 'r ARGLWYDD di i
[f] Pen. 22. 29. a 34. 19. wlad y Canaaneaid, megis y tyngodd efe
Lef. 27. 26. wrthyt, ac wrth dy dadau, a'i rhoddi i ti;
Num. 8. 17. 12 Yna [f] y neilldui i'r ARGLWYDD bob
Deut. 15. 19. cyntaf-anedig: a phob cyntaf i anifail a
Ezec. 44. fyddo eiddot ti, y gwrrywiaid eiddo 'r AR-
30. GLWYDD fyddant.
[g] Num. 18. 13 A [g] phob cyntaf i asyn a bryni di ‡ ag
15, 16. oen; ac oni phryni di *ef*, yna torfynygla ef:
‡ Gr. *a mynn.* a phob dyn cyntaf-anedig o'th feibion [h] a
[h] Num. 3. bryni di hefyd.
47. a 18. 16. 14 ¶ A phan ofyno dy fab § ar ol hyn,
§ Heb. *y foru* gan ddywedyd, Beth *yw* hyn? yna dywed
wrtho, A llaw gadarn y dug yr ARGLWYDD
ni allan o'r Aipht, o dŷ 'r caethiwed.
15 A phan oedd anhawdd gan Pharaoh ein
gollwng ni, y lladdodd yr ARGLWYDD
bob cyntaf-anedig yngwlâd yr Aipht, o
gyntaf-anedig dyn hyd gyntaf-anedig ani-
fail: am hynny 'r ydwyf fi yn aberthu i'r AR-
GLWYDD bob gwrryw a agoro 'r groth; ond
pob cyntaf-anedig o'm meibion a brynaf.
16 A bydded hynny yn arwydd ar dy law,
ac yn rhagtalau rhwng dy lygaid: canys â
llaw gadarn y dug yr ARGLWYDD ni allan
o'r Aipht.
17 ¶ A phan ollyngodd Pharaoh y bobl, ni
arweiniodd yr ARGLWYDD hwynt trwy
ffordd gwlad y Philistiaid, er ei bod yn agos:
oblegid dywedodd Duw, Rhag i'r bobl
edifarhâu pan welant ryfel, a [i] dychwelyd [i] Deut. 17.
i'r Aipht. 16.
18 Ond Duw [k] a arweiniodd y bobl o [k] Pen. 14.
amgylch, trwy anialwch y môr coch: ac 2.
‖ yn arfogion yr aeth meibion Israel allan o ‖ Heb. *yn*
wlad yr Aipht. *bumpiau.*
19 A Moses a gymmerodd esgyrn Joseph [l] Gen. 50. 25.
gyd ag ef: o herwydd efe a wnelsai i feibion Jos. 24. 32.
Israel dyngu trwy lw, gan ddywedyd, [l] Duw Act. 7. 16.
a ymwêl â chwi yn ddïau; dygwch chwi- [m] Num. 33. 6.
thau fy esgyrn oddi yma gyd â chwi. [n] Pen. 40.
20 ¶ A [m] hwy a aethant o Succoth; ac a 38.
wersyllasant yn Etham, ynghwrr yr anialwch. Num. 9. 15.
21 A'r [n] ARGLWYDD oedd yn myned o'u a 10. 34. a 14. 14.
blaen hwynt y dydd mewn colofn o niwl, Deut. 1. 33.
i'w harwain ar y ffordd; a'r nos mewn Neh. 9. 12, 19.
colofn o dân, i oleuo iddynt: fel y gallent Psal. 78. 14.
fyned ddydd a nos. a 99. 7. a 105. 39.
22 Ni thynnodd efe ymaith y golofn niwl 1 Cor. 10. 1.
y dydd, na'r golofn dân y nos, o flaen y bobl.

## PEN. XIV.

1 *Duw yn hyfforddi 'r Israeliaid yn eu taith.* Dydd
5 *Pharaoh yn erlid ar eu hol hwynt.* 10 *Yr* Pasg, P.
*Israeliaid yn tuchan.* 13 *Moses yn eu cysuro* Chwefr.
*hwy.* 15 *Duw yn dysgu i Moses beth a wnai.* 4. B.
19 *Y niwl yn symmudo i'r tu ol i'r gwersyll.*
21 *Yr Israeliaid yn myned trwy 'r môr coch;*
23 *a'r Aiphtiaid yn boddi yntho.*
A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, 1491.
gan ddywedyd,
2 Dywed wrth feibion Israel, [a] am ddy- [a] Pen. 13.
chwelyd a gwersyllu o flaen [b] Pihahiroth, 18.
rhwng Migdol a'r môr, o flaen Baal-sephon: [b] Num. 33.
ar ei chyfer y gwersyllwch wrth y môr. 7.
3 Canys dywed Pharaoh am feibion Israel,
Rhwystrwyd hwynt yn y tir; cauodd yr
anialwch arnynt.
4 A [c] mi a galedaf galon Pharaoh, fel yr [c] Pen. 4.
erlidio ar eu hol hwynt: felly y'm gogo- 21.
neddir ar Pharaoh, a'i holl fyddin; a'r
Aiphtiaid a gânt wybod mai myfi *yw*'r AR-
GLWYDD. Ac felly y gwnaethant.
5 ¶ A mynegwyd i frenhin yr Aipht, fod y
bobl yn ffoi: yna [d] y trodd calon Pharaoh [d] Psal. 105.
a'i weision yn erbyn y bobl; a dywedasant, 25.
Beth yw hyn a wnaethom, pan ollyngasom
Israel o'n gwasanaethu?
6 Ac efe a daclodd ei gerbyd, ac a gym-
merodd ei bobl gyd ag ef.
7 A chymmerodd chwe chant o ddewis
gerbydau, a holl gerbydau 'r Aipht, a chap-
teniaid ar bob un o honynt.
8 A'r ARGLWYDD a galedasai galon
Pharaoh brenhin yr Aipht, ac efe a ymlidi-
odd ar ol meibion Israel: ond [e] yr oedd [e] Num. 33.
meibion Israel yn myned allan â llaw uchel. 3.
9 A'r [f] Aiphtiaid a ymlidiasant ar eu hol [f] Jos. 24.
hwynt, *sef* holl feirch *a* cherbydau Pharaoh, 6.
a'i wŷr meirch, a'i fyddin, ac a'u goddiwedd- 1 Mac. 4.
asant yn gwersyllu wrth y môr, ger llaw 9.
Pihahiroth, o flaen Baal-sephon.
10 ¶ A phan nesaodd Pharaoh, meibion
Israel a godasant eu golwg; ac wele'r

Aiphtiaid yn dyfod ar eu hôl; a hwy a ofnasant yn ddirfawr: a meibion Israel a waeddasant ar yr ARGLWYDD.

11 A dywedasant wrth Moses, Ai am nad oedd beddau yn yr Aipht, y dygaist ni i farw yn yr anialwch? Pa ham y gwnaethost fel hyn â ni, gan ein dwyn allan o'r Aipht?

12 [g] Onid dyma 'r peth a lefarasom wrthyt yn yr Aipht, gan ddywedyd, Paid â ni, fel y gwasanaethom yr Aiphtiaid? canys gwell fuasai i ni wasanaethu 'r Aiphtiaid, na marw yn yr anialwch.

g Pen. 5. 21. a 6 9.

13 ¶ A Moses a ddywedodd wrth y bobl, [h] Nac ofnwch; sefwch, ac edrychwch ar iachawdwriaeth yr ARGLWYDD, yr hwn a wna efe i chwi heddyw; oblegid yr Aiphtiaid y rhai a welsoch chwi heddyw, ni chewch eu gweled byth ond hynny.

h 2 Chron. 20. 15, 17.

14 [i] Yr ARGLWYDD a ymladd drosoch; am hynny tewch chwi â son.

i Neh. 4. 20.

15 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Moses, Pa ham y gweiddi arnaf? dywed wrth feibion Israel am gerdded rhagddynt.

16 A chyfod dithau dy wialen, ac estyn dy law ar y môr, a hollta ef: a meibion Israel a ant trwy ganol y môr ar dir sych.

17 Wele, fi, ie myfi a galedaf galon yr Aiphtiaid, fel y delont ar eu hol hwynt: a mi a ogoneddir ar Pharaoh, ac ar ei holl fyddin, ar ei gerbydau ef, ac ar ei farchogion.

18 A'r Aiphtiaid a gânt wybod mai myfi yw 'r ARGLWYDD, pan y'm gogoneddir ar Pharaoh, ar ei gerbydau, ac ar ei farchogion.

19 ¶ Ac angel DUW, [k] yr hwn oedd yn myned o flaen byddin Israel, a symmudodd, ac a aeth o'u hol hwynt; a'r golofn niwl a aeth ymaith o'u tu blaen hwynt, ac a safodd o'u hol hwynt.

k Pen. 13. 21.

20 Ac efe a ddaeth rhwng llu 'r Aiphtiaid a llu Israel; ac [l] yr ydoedd yn gwmmwl ac yn dywyllwch *i 'r Aiphtiaid*, ac yn goleuo 'r nos *i Israel*: ac ni nesaodd y naill at y llall ar hŷd y nos.

l Edrych Esay 8. 14. 2 Cor. 4. 3.

21 A Moses a estynodd ei law ar y môr: a'r ARGLWYDD a yrrodd y môr *yn ei ol*, trwy ddwyreinwynt cryf ar hŷd y nos, ac [m] a wnaeth y môr yn sychdir, [n] a holltwyd y dyfroedd.

m Psal. 66. 6.

22 A [o] meibion Israel a aethant trwy ganol y môr ar dir sych: a'r dyfroedd *oedd* yn fur iddynt, o'r tu dehau, ac o'r tu aswy.

n Jos. 3. 15. a 4. 23. Neh. 9. 11. Psal. 74. 13. a 106. 9. a 114. 3.

23 ¶ A'r Aiphtiaid a erlidiasant, ac a ddaethant ar eu hol hwynt; *sef* holl feirch Pharaoh, a'i gerbydau, a'i farchogion, i ganol y môr.

o Num. 33. 8. Psal. 74. 13. 1 Cor. 10. 1. Heb. 11. 29.

24 Ac ar y wyliadwriaeth fore [p] yr ARGLWYDD a edrychodd ar fyddin yr Aiphtiaid trwy 'r golofn dân a'r cwmmwl, ac a derfysgodd fyddin yr Aiphtiaid.

p Edr. Psal. 77. 17, &c.

25 Ac efe a dynnodd ymaith olwynion eu cerbydau; ac † yr oeddynt yn gyrru yn drwm: fel y dywedodd yr Aiphtiaid, Ffown oddi wrth Israel; oblegid yr ARGLWYDD sydd yn ymladd drostynt hwy yn erbyn yr Aiphtiaid.

† *a barodd iddynt gerdded.*

26 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Moses, Estyn dy law ar y môr; fel y dychwelo 'r dyfroedd ar yr Aiphtiaid, ar eu cerbydau, ac ar eu marchogion.

27 A Moses a estynodd ei law ar y môr: a dychwelodd y môr cyn y bore i'w nerth; a'r Aiphtiaid a ffoisant yn ei erbyn ef: a'r ARGLWYDD a ‡ ddymchwelodd yr Aiphtiaid ynghanol y môr.

‡ Heb. *ysgytiodd.* Deut. 11. 4. Psal. 78. 53.

28 [q] A'r dyfroedd a ddychwelasant, ac a orchuddiasant gerbydau, a marchogion, a holl fyddin Pharaoh, y rhai a ddaethant ar eu hol hwynt i'r môr: [r] ni adawyd o honynt gymmaint ag un.

q Hab. 3. 8, 13.

r Psal. 106. 11.

29 Ond [s] meibion Israel a gerddasant ar dir sych ynghanol y môr: a'r dyfroedd *oedd* yn fur iddynt, ar y llaw ddehau, ac ar y llaw aswy.

s Psal. 77. 20.

30 Felly 'r ARGLWYDD a achubodd Israel y dydd hwnnw o law 'r Aiphtiaid: a gwelodd Israel yr Aiphtiaid yn feirw ar fin y môr.

31 A gwelodd Israel y § grymmusder mawr a wnaeth yr ARGLWYDD yn erbyn yr Aiphtiaid: a'r bobl a ofnasant yr ARGLWYDD, ac [t] a gredasant i'r ARGLWYDD, ac i'w was ef Moses.

§ Heb. *llaw fawr.*

t Psal. 106. 12.

## PEN. XV.

1 *Cân Moses.* 22 *Y bobl ag eisiau dwfr arnynt.* 23 *Chwerw ddyfroedd Marah.* 25 *Pren yn eu pereiddio hwy.* 27 *Deuddeg ffynnon o ddwfr, a deg palmwŷdden a thri ugain, yn Elim.*

Chwefr. 4. P.

1491.

YNA [a] y canodd Moses a meibion Israel y gân hon i'r ARGLWYDD, ac a lefarasant, gan ddywedyd, Canaf i'r ARGLWYDD; canys gwnaeth yn rhagorol iawn: taflodd y march a'i farchog i'r môr.

a Doeth. 10. 20.

2 Fy nerth a'm [b] cân *yw* 'r ARGLWYDD; ac y mae efe yn iachawdwriaeth i mi: efe yw fy NUW, efe a ogoneddaf fi; DUW fy nhad, a mi a'i dyrchafaf ef.

b Deut. 10. 21. Psal. 18. 2. a 22. 3. a 109. 1. a 118. 14. Esay 12. 2.

3 Yr ARGLWYDD *sydd* ryfelwr: yr ARGLWYDD *yw* ei enw.

4 Efe a daflodd gerbydau Pharaoh a'i fyddin yn y môr: ei gapteniaid dewisol a foddwyd yn y môr coch.

5 Y dyfnderau a'u toisant hwy: [c] disgynasant i'r gwaelod fel carreg.

c Neh. 9. 11.

6 [d] Dy ddeheulaw, ARGLWYDD, sydd ardderchog o nerth; a'th ddeheulaw, ARGLWYDD, a ddrylliodd y gelyn.

d Psal. 118. 15, 16.

7 Ym mawredd dy ardderchowgrwydd y tynnaist i lawr y rhai a gyfodasant i'th erbyn: dy ddigofaint a anfonaist allan, *ac* efe a'u hysodd hwynt [e] fel sofl.

e Esay 5. 24. a 47. 14.

8 [f] Trwy chwythiad dy ffroenau y casglwyd y dyfroedd ynghŷd: y ffrydiau a safasant fel pentwr; y dyfnderau a geulasant ynghanol y môr.

f Pen. 14. 21. Job 4. 9. 2 Thes. 2. 8.

9 [g] Y gelyn a ddywedodd, Mi a erlidiaf, mi a oddiweddaf, mi a rannaf yr yspail: caf fy ngwŷnfyd arnynt; tynnaf fy nghleddyf, fy llaw a'u † difetha hwynt.

g Barn. 5. 30.

† *gorescyn.*

10 Ti a chwythaist â'th wŷnt; y môr a'u todd hwynt: [h] soddasant fel plwm yn y dyfroedd cryfion.

h Act. 5.

11 [i] Pwy *sydd* debyg i ti, O ARGLWYDD, ym mhlith y ‡ duwiau? pwy fel tydi yn ogoneddus mewn sancteiddrwydd, yn ofnadwy mewn moliant, yn gwneuthur rhyfeddodau?

i 2 Sam. 7. 22. 1 Bren. 8. 23. Psal. 86. 8. a 89. 6. Jer. 10. 6. a 49. 19.

12 Estynaist dy ddeheulaw; llyngcodd y ddaear hwynt.

‡ *cedyrn?*

13 Arweiniaist yn dy drugaredd y bobl y rhai a waredaist: yn dy nerth y tywysaist *hwynt* i anneddle dy sancteiddrwydd.

k Num. 14. 14. Deut. 2. 25. Jos. 2. 9.

14 [k] Y bobloedd a glywant, *ac* a ofnant: dolur a ddeil breswylwŷr Palestina.

l Deut. 2. 4.

15 Yna [l] y synna ar dduciaid Edom; [m] cedyrn hyrddod Moab, dychryn a'u deil hwynt: [n] holl breswylwŷr Canaan a doddant ymaith.

m Num. 22. 3. Hab. 3. 6.

n Jos. 5. 1.

16 [o] Ofn ac arswyd a syrth arnynt; gan fawredd dy fraich y tawant fel carreg, nes

o Deut. 2. 25. a 11. 25. Jos. 2. 9.

myned trwodd o'th bobl di, ARGLWYDD,
nes myned o'r bobl [p] a ennillaist ti trwodd.
17 Ti a'u dygi hwynt i mewn, ac [q] a'u
plenni hwynt ym mynydd dy etifeddiaeth,
y lle a wnaethost, O ARGLWYDD, yn an-
neddle it'; y cyssegr, ARGLWYDD, a gad-
arnhaodd dy ddwylaw.
18 [r] Yr ARGLWYDD a deyrnasa byth ac
yn dragywydd.
19 O herwydd meirch Pharaoh, a'i ger-
bydau, a'i farchogion, a aethant i'r môr;
a'r ARGLWYDD a ddychwelodd ddyfroedd y
môr arnynt: ond meibion Israel a aethant ar
dir sych ynghanol y môr.
20 ¶ A Miriam y brophwydes, chwaer
Aaron, [s] a gymmerodd dympan yn ei llaw,
a'r holl wragedd a aethant allan ar ei hol hi,
[t] â thympanau ac â dawnsiau.
21 A dywedodd Miriam wrthynt, Cenwch
i'r ARGLWYDD; canys gwnaeth yn ardder-
chog: bwriodd y march a'r marchog i'r
môr.
22 Yna Moses a ddug Israel oddi wrth y
môr coch; ac aethant allan i anialwch [u] Sur:
a hwy a gerddasant dri diwrnod yn yr anial-
wch, ac ni chawsant ddwfr.
23 ¶ A phan ddaethant i [x] Marah, ni
allent yfed dyfroedd Marah, am eu bod yn
chwerwon: o herwydd hynny y gelwir ei
henw hi † Marah.
24 A'r bobl a duchanasant yn erbyn Mo-
ses, gan ddywedyd, Beth a yfwn ni?
25 Ac efe a waeddodd ar yr ARGLWYDD:
a'r ARGLWYDD a ddangosodd iddo ef
[y] bren; [z] ac efe a'i bwriodd i'r dyfroedd, a'r
dyfroedd a bereiddiasant: yno [a] y gwnaeth
efe ddeddf a chyfraith, ac yno [b] y profodd
efe hwynt,
26 Ac a ddywedodd, Os gan wrando y
gwrandewi ar lais yr ARGLWYDD dy DDUW,
ac os gwnai di yr hyn sydd union yn ei olwg
ef, a rhoddi clust i'w orchymynion ef, a
chadw ei holl ddeddfau ef; [c] ni roddaf ar-
nat un o'r clefydau a roddais ar yr Aiphti-
aid: o herwydd myfi *yw* yr ARGLWYDD
[d] dy iachawdwr di.
27 ¶ A [e] daethant i Elim; ac yno 'r oedd
deuddeg ffynnon o ddwfr, a deg palmwŷd-
den a thri ugain: a hwy a wersyllasant yno
wrth y dyfroedd.

p Pen. 19. 5. Deut. 32. 9. 2 Sam. 7. 23. Tit. 2. 14. 1 Petr 2. 9.
q Psal. 44. 2. a 80. 8.
r Psal. 146. 10. Esay 57. 15.
s 1 Sam. 18. 6.
t Barn. 11. 34. a 21. 21. 2 Sam. 6. 16. Psal. 68. 11. 25.
u Gen. 16. 7. a 25. 18.
x Num. 33. 8.
† Chwerwder.
y Eccl. 38. 5.
z Edrych 2 Bren. 4. 41.
a Edrych Jos. 24. 25.
b Pen. 16. 4.
c Deut. 7. 15.
d Pen. 23. 25. Psal. 103. 2. a 147. 3.
e Num. 33. 9.

## PEN. XVI.

Dydd Llun Pasg, B. Chweir. 5. B.

*1 Yr Israeliaid yn dyfod i Sin; 2 ac yn tuchan o eisiau bara. 4 Duw yn addo iddynt fara o'r nefoedd. 11 Danfon soflieir, 14 a manna. 16 Trefn y manna. 25 Na cheid ef ar y dydd Sabboth. 32 Cadw llonaid omer o hono ef.*

1491. A Hwy a symmudasant o Elim; a holl
gynnulleidfa meibion Israel a ddaeth-
ant i [a] anialwch Sin, yr hwn *sydd* rhwng
Elim a Sinai, ar y pymthegfed dydd o'r ail
mis, wedi iddynt fyned allan o wlad yr
Aipht.
2 A holl gynnulleidfa meibion Israel a
duchanasant yn erbyn Moses ac Aaron yn
yr anialwch.
3 A meibion Israel a ddywedasant wrth-
ynt, O na buasem feirw trwy law 'r AR-
GLWYDD yngwlâd yr Aipht, [b] pan oeddym
yn eistedd wrth y crochanau cig, ac yn
bwytta bara ein gwala: ond chwi a'n dyga-
soch ni allan i'r anialwch hwn, i ladd yr holl
dyrfa hon â newyn.
4 ¶ Yna y dywedodd yr ARGLWYDD
wrth Moses, Wele, mi a wlawiaf arnoch

a Num. 33. 11.
b Num. 11. 4, 5.

[c] fara o'r nefoedd: a'r bobl a ant allan, ac
a gasglant † ddogn dydd yn ei ddydd; fel
y gallwyf eu [d] profi, a rodiant yn fy nghy-
fraith, ai na's *gwnant*.
5 Ond ar y chweched dydd y darparant
yr hyn a ddygant i mewn; a [e] *hynny* fydd
dau cymmaint ag a gasglant beunydd.
6 A dywedodd Moses ac Aaron wrth holl
feibion Israel, [f] Yn yr hwyr y cewch wybod
mai 'r ARGLWYDD a'ch dug chwi allan o
wlad yr Aipht.
7 Y bore hefyd y cewch weled [g] gogoni-
ant yr ARGLWYDD; am iddo glywed eich
tuchan chwi yn erbyn yr ARGLWYDD: a
pha beth ydym ni, i chwi i duchan i'n her-
byn?
8 Moses hefyd a ddywedodd, *Hyn fydd*
pan roddo 'r ARGLWYDD i chwi yn yr hwyr
gig i'w fwytta, a'r bore fara eich gwala; am
glywed o'r ARGLWYDD eich tuchan chwi,
yr hwn a wnaethoch yn ei erbyn ef: o her-
wydd beth *ydym* ni? nid yn ein herbyn ni
*y mae* eich tuchan, ond [h] yn erbyn yr
ARGLWYDD.
9 ¶ A Moses a ddywedodd wrth Aaron,
Dywed wrth holl gynnulleidfa meibion
Israel, Deuwch yn nês ger bron yr AR-
GLWYDD: o herwydd efe a glywodd eich
tuchan chwi.
10 Ac fel yr oedd Aaron yn llefaru wrth
holl gynnulleidfa meibion Israel, yna 'r
edrychasant tu a'r anialwch; ac wele go-
goniant yr ARGLWYDD [i] a ymddangosodd
yn y cwmmwl.
11 ¶ A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth Mo-
ses, gan ddywedyd,
12 Clywais duchan meibion Israel: llefara
wrthynt, gan ddywedyd, Yn yr hwyr y
cewch fwytta cig, a'r bore y'ch diwellir o
fara: cewch hefyd wybod mai myfi *yw* yr
ARGLWYDD eich DUW chwi.
13 Felly yn yr hwyr y [k] soflieir a ddaeth-
ant, ac a orchuddiasant y wersyllfa; a'r bore
yr oedd caenen o wlith o amgylch y gwer-
syll.
14 A phan [l] gododd y gaenen wlith, wele
ar hŷd wyneb yr anialwch dippynnau cry-
nion cyn faned a'r llwydrew ar y ddaear.
15 Pan welodd meibion Israel *hynny*,
hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, ‡ Man-
na *yw*: canys ni wyddent beth *ydoedd*. A
dywedodd Moses wrthynt, [m] Hwn *yw* 'r
bara a roddodd yr ARGLWYDD i chwi i'w
fwytta.
16 ¶ Hyn yw 'r peth a orchymynodd yr
ARGLWYDD; Cesglwch o hono bob un yn
ol ei fwytta: omer i bob § un yn ol rhifedi
eich eneidiau; cymmerwch bob un i'r rhai
fyddant yn ei bebyll.
17 A meibion Israel a wnaethant felly; ac
a gasglasant, rhai fwy, a rhai lai.
18 A phan fesurasant wrth yr omer, [n] nid
oedd gweddill i'r hwn a gasglasai lawer,
ac nid oedd eisiau ar yr hwn a gasglasai
ychydig: casglasant bob un yn ol ei
fwytta.
19 A dywedodd Moses wrthynt, Na we-
ddilled neb ddim o hono hyd y bore.
20 Er hynny ni wrandawsant ar Moses,
onid gadaw a wnaeth rhai o hono hyd y
bore; ac efe a fagodd bryfed, ac a ddrew-
odd: am hynny Moses a ddigiodd wrthynt.
21 A hwy a'i casglasant ef bob bore, pob
un yn ol ei fwytta: a phan wresogai 'r haul,
efe a doddai.
22 ¶ Ac ar y chweched dydd y casglent

c Psal. 78. 24, 25. a 105. 40. Ioan 6. 31, 32. 1 Cor. 10. 3.
† Diar. 30. 8. Matt. 6. 11.
d Pen. 15. 25. Deut. 8. 2, 16.
e Edrych Lef. 25. 21.
f Edrych ad. 13.
g Edrych ad. 10.
h Edrych 1 Sam. 8. 7. Luc 10. 16. Rhuf. 13. 2.
i Pen. 13. 21.
k Num. 11. 31. Psal. 105. 40.
l Num. 11. 7. Neh. 9. 15. Psal. 78. 24. a 105. 40. Doeth. 16. 20.
‡ Neu, *Beth yw hwn?* neu, *Rhan yw.*
m Ioan 6. 31. 1 Cor. 10. 3.
§ Heb. *pen.*
n 2 Cor. 8. 15.

ddau cymmaint o fara, dau omer i un: a
holl bennaethiaid y gynnulleidfa a ddaeth-
ant ac a fynegasant i Moses.
23 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Hyn
yw'r peth a lefarodd yr ARGLWYDD; Y
[o] Gen. 2. 3. foru *y mae* [o] gorphwystfa Sabboth sanctaidd
i'r ARGLWYDD: pobwch *heddyw* yr hyn
a bobwch, a berwch yr hyn a ferwoch; a'r
holl weddill, rhoddwch i gadw iwch' hyd y
bore.
24 A hwy a'i cadwasant hyd y bore, fel
y gorchymynasai Moses: ac ni ddrewodd,
ac nid oedd pryf ynddo.
25 A dywedodd Moses, Bwyttêwch hwn
heddyw; oblegid Sabboth *yw* heddyw i'r
ARGLWYDD: ni chewch hwn yn y maes
heddyw.
26 Chwe diwrnod y cesglwch chwi ef;
ond ar y seithfed dydd, yr hwn *yw*'r Sab-
both, ni bydd efe.
27 ¶ Etto rhai o'r bobl a aethant allan ar
y seithfed dydd, i gasglu; ond ni chawsant
ddim.
28 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth
Moses, Pa hyd y gwrthodwch gadw fy ngor-
chymynion a'm cyfreithiau?
29 Gwelwch mai 'r ARGLWYDD a rodd-
odd i chwi 'r Sabboth; am hynny efe a
roddodd i chwi y chweched dydd fara dros
ddau ddydd: arhoswch bawb gartref; nac
aed un o'i le y seithfed dydd.
30 Felly 'r bobl a orphwysasant y seith-
fedd dydd.
31 A thŷ Israel a alwasant ei enw ef
[p] Num. 11. 7. Manna: ac [p] yr oedd efe fel had coriander,
yn wŷn; a'i flas fel afrllad o fel.
32 ¶ A Moses a ddywedodd, Dyma 'r
peth a orchymynodd yr ARGLWYDD; Llanw
omer o hono, i'w gadw i'ch cenhedlaethau;
fel y gwelont y bara y porthais chwi ag ef
yn yr anialwch, pan y'ch dygais allan o
wlad yr Aipht.
33 A Moses a ddywedodd wrth Aaron,
[q] 1 Bren. 8. 9. [q] Cymmer grochan, a dod ynddo lonaid
Heb. 9. 4. omer o'r manna; a gosod ef ger bron yr
ARGLWYDD ynghadw i'ch cenhedlaethau.
34 Megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD
i Moses, felly y gosododd Aaron ef i gadw
ger bron y dystiolaeth.
35 A meibion Israel a fwyttasant y manna
[r] Jos. 5. 12. ddeugain mlynedd, [r] nes eu dyfod i dir cyf-
Neh. 9. 15. anneddol: manna a fwyttasant nes eu dyfod
i gwrr gwlad Canaan.
36 A'r omer ydoedd ddegfed ran epha.

## PEN. XVII.

Dydd Llun Pasg, P. Clwyfr. 5. P.

1 *Y bobl yn tuchan am ddwfr yn Rephidim.*
*5 Duw yn eu hanfon hwy am ddwfr i'r*
*graig yn Horeb. 8 Gorchfygu Amalec trwy*
*ddal dwylaw Moses i fynu. 15 Moses yn*
*adeiladu'r allor JEHOFAH-Nissi.*

1491.
[a] Num. 33. 12, 13. A [a] Holl gynnulleidfa meibion Israel a
aethant o anialwch Sin, wrth eu teith-
iau, yn ol gorchymyn yr ARGLWYDD; ac
a wersyllasant yn Rephidim: ac nid oedd
dwfr i'r bobl i yfed.
[b] Num. 20. 3, 4. 2 [b] Am hynny y bobl a ymgynhennasant
â Moses, ac a ddywedasant, Rhoddwch i ni
ddwfr i yfed. A dywedodd Moses wrthynt,
[c] Psal. 78. 41. Pa ham yr ymgynhennwch â mi? Pa ham [c]
1 Cor. 10. 9. y temtiwch yr ARGLWYDD?
3 A'r bobl a sychedodd yno am ddwfr;
a thuchanodd y bobl yn erbyn Moses, ac a
ddywedodd, Pa ham y peraist i ni ddy-
fod i fynu o'r Aipht, i'n lladd ni, a'n plant,
a'n hanifeiliaid, â syched?
4 A Moses a lefodd ar yr ARGLWYDD,
gan ddywedyd, Beth a wnaf i'r bobl hyn?
ar ben ychydig etto hwy a'm llabyddiant i.
5 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Mo-
ses, Cerdda o flaen y bobl, a chymmer gyd
â thi o henuriaid Israel: cymmer hefyd dy
wïalen yn dy law, yr hon [d] y tarewaist [d] Pen. 7. 20.
yr afon â hi, a cherdda.
6 [e] Wele, mi a safaf o'th flaen yno ar y [e] Num. 20. 9.
graig yn Horeb; taro dithau 'r graig, a daw Psal. 78. 15.
dwfr allan o honi, fel y gallo 'r bobl yfed. a 105. 41.
A Moses a wnaeth felly yngolwg henuriaid a 114. 8.
Israel. Doeth. 11. 4.
7 Ac efe a alwodd enw 'r lle [f] † Massah, a 1 Cor. 10. 4.
‡ Meribah; o achos cynnen meibion Israel, [f] Num. 20. 13.
ac am iddynt demtio 'r ARGLWYDD, gan Psal. 81. 7.
ddywedyd, a ydyw 'r ARGLWYDD yn eu a 95. 8.
plith, ai nid *yw*? Heb. 3. 8.
8 ¶ [g] Yna y daeth Amalec, ac a ymladd- † *Profedigaeth.*
odd ag Israel yn Rephidim.
9 A dywedodd Moses wrth [h] Josua, ‡ *Cynnen.*
Dewis i ni wŷr, a dos allan ac ymladd ag [g] Deut. 25. 17.
Amalec: y foru mi a safaf ar ben y bryn, â 1 Sam. 15. 2.
[i] gwialen Duw yn fy llaw. Doeth. 11. 3.
10 Felly Josua a wnaeth fel y dywedodd
Moses wrtho; ac a ymladdodd ag Amalec: [h] A elwir *Iesu.*
a Moses, Aaron, a Hur, a aethant i fynu i Act. 7. 45.
ben y bryn.
11 A phan godai Moses ei law, y byddai [i] Pen. 4. 20.
Israel yn drechaf; a phan ollyngai ei law
i lawr, Amalec a fyddai drechaf.
12 A dwylaw Moses oedd drymmion; a
hwy a gymmerasant faen, ac a'i gosodasant
dano ef; ac efe a eisteddodd arno: ac
Aaron a Hur a gynhaliasant ei ddwylaw ef,
un ar y naill du, a'r llall ar y tu arall; felly
y bu ei ddwylaw ef sythion nes machludo
haul.
13 A Josua a orchfygodd Amalec a'i [k] Num. 24. 20.
bobl â min y cleddyf.
14 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth 1 Sam. 15. 3, 7. a 30.
Moses, Ysgrifena hyn mewn llyfr, yn 1, 17.
goffadwriaeth; a mynega i Josua: canys 2 Sam. 8. 12.
[k] gan ddilëu y dileaf goffadwriaeth Amalec Est. 9. 14.
oddi tan y nefoedd.
15 A Moses a adeiladodd allor, ac a al- § *Yr Arglwydd yw fy maner.*
wodd ei henw hi § JEHOFAH-Nissi. Edr. Bar. 6. 24.
16 Canys efe a ddywedodd, O herwydd
‖ tyngu o'r ARGLWYDD, *y bydd* i'r AR- ‖ *Neu, bod llaw ar orseddfainge yr Arglwydd.*
GLWYDD ryfel yn erbyn Amalec o genhed-
laeth i genhedlaeth.

## PEN. XVIII.

1 *Jethro yn dwyn at Moses ei wraig a'i ddau* Clwyfr. 6. B.
*fab. 7 Moses yn ei groesawu ef. 13 Yntau*
*yn derbyn cyngor Jethro. 27 Jethro yn*
*ymadael.*

PAN glywodd [a] Jethro, offeiriad Midian, 1491.
chwegrwn Moses, yr hyn oll a wnaethai [a] Pen. 2. 16. a 3. 1.
Duw i Moses, ac i Israel ei bobl, a dwyn
o'r ARGLWYDD Israel allan o'r Aipht;
2 Yna Jethro, chwegrwn Moses, a gym-
merodd Sephorah gwraig Moses (wedi ei
hebrwng hi yn ei hol)
3 A'i dau fab hi; o ba rai [b] enw un [b] Pen. 2. 22.
*oedd* † Gersom: oblegid efe a ddywedasai,
Dïeithr fum mewn gwlad estronol. † *Sef, Dieithr yno.*
4 Ac enw y llall *oedd* ‡ Eliezer: o he-
rwydd Duw fy nhad *oedd* gynhorthwy i mi ‡ *Sef, Fy Nuw sydd gymmorth.*
(*eb efe*) ac a'm hachubodd rhag cleddyf
Pharaoh.
5 A Jethro, chwegrwn Moses, a ddaeth
a'i feibion a'i wraig at Moses i'r anialwch,
lle 'r ydoedd efe yn gwersyllu ger llaw [c] [c] Pen. 3. 1.
mynydd Duw.
6 Ac efe a ddywedodd wrth Moses, Myfi

Jethro, dy chwegrwn di, sydd yn dyfod at-
tat ti, a'th wraig a'i dau fab gyd â hi.
7 ¶ A Moses a aeth allan i gyfarfod â'i
chwegrwn; ac a ymgrymmodd, ac a'i cusan-
odd; a chyfarchasant well bob un i'w gilydd:
a daethant i'r babell.
8 A Moses a fynegodd i'w chwegrwn yr
hyn oll a wnaethai 'r ARGLWYDD i Pharaoh
ac i'r Aiphtiaid, er mwyn Israel; a'r holl
flinder a gawsent ar y ffordd, ac achub o'r
ARGLWYDD hwynt.
9 A llawenychodd Jethro o herwydd yr
holl ddaioni a wnaethai 'r ARGLWYDD
i Israel; yr hwn a waredasai efe o law yr
Aiphtiaid.
10 A dywedodd Jethro, Bendigedig *fyddo*
'r ARGLWYDD, yr hwn a'ch gwaredodd o
law 'r Aiphtiaid, ac o law Pharaoh; yr hwn
a waredodd y bobl oddi tan law 'r Aiphtiaid.
11 Yn awr y gwn mai mwy ydyw 'r AR-
[d] Pen. 1. 10, GLWYDD nâ 'r holl dduwiau: [d] oblegid yn
16, 22. a 5. y peth yr oeddynt falch o hono, *yr oedd efe*
7. a 14. 18. yn uwch nâ hwynt.
12 A Jethro, chwegrwn Moses, a gymmer-
odd boeth-offrwm ac ebyrth i DDUW: a daeth
Aaron, a holl henuriaid Israel, i fwytta bara
gyd â chwegrwn Moses, ger bron Duw.
13 ¶ A thrannoeth Moses a eisteddodd i
farnu 'r bobl: a safodd y bobl ger bron Mo-
ses, o'r bore hyd yr hwyr.
14 A phan welodd chwegrwn Moses yr
hyn oll yr ydoedd efe yn ei wneuthur i'r
bobl, efe a ddywedodd, Pa beth *yw* hyn yr
wyt ti yn ei wneuthur i'r bobl? Pa ham yr
eisteddi dy hun, ac y saif yr holl bobl ger dy
fron di, o'r bore hyd yr hwyr?
15 A dywedodd Moses wrth ei chwegr-
[e] Lef. 24. wn, Am fod [e] y bobl yn dyfod attaf i ym-
12. gynghori â Duw.
Num. 15. 16 Pan fyddo iddynt achos, attaf fi y deu-
34. ant; a myfi sydd yn barnu rhwng † pawb
† Heb. a'u gilydd, ac yn hyspysu deddfau Duw a'i
*gwr a'i cyfaill.* gyfreithiau.
17 A dywedodd chwegrwn Moses wrtho,
Nid da y peth yr ydwyt ti yn ei wneuthur.
18 Tydi a lwyr ddiffygi, a'r bobl yma
hefyd y rhai sydd gyd â thi: canys rhy
[f] Num. 11. drwm yw y peth i ti; [f] ni elli ei wneuthur
14. ef dy hun.
Deut. 1. 9. 19 Gwrando ar fy llais i yn awr; mi a'th
gynghoraf di, a bydd Duw gyd â thi: Bydd
di dros y bobl ger bron Duw, a dwg eu ha-
chosion at DDUW.
20 Dysg hefyd iddynt y deddfau a'r cyf-
reithiau; a hyspysa iddynt y ffordd a rodi-
ant ynddi, a'r gweithredoedd a wnant.
21 Ac edrych dithau allan o'r holl bobl am
[g] Deut. 1. [g] wŷr nerthol, yn ofni Duw, gwŷr geirwir,
16. a 16. 18. yn casâu cybydd-dod; a gosod *y rhai hyn* ar-
2 Chron. 19. nynt hwy, yn dywysogion ar filoedd, yn
7, 9. dywysogion ar gannoedd, ac yn dywysog-
ion ar ddegau a deugain, ac yn dywysogion
ar ddegau.
22 A barnant hwy 'r bobl bob amser; ond
dygant bob peth mawr attat ti, a barnant
eu hun bob peth bychan: felly yr ysgafn-
hâi arnat dy hun, a hwynt-hwy a ddygant
y *baich* gyd â thi.
23 Os y peth hyn a wnai, a'i orchymyn o
DDUW i ti; yna ti a elli barhâu, a'r holl bobl
hyn a ddeuant i'w lle mewn heddwch.
24 A Moses a wrandawodd ar lais ei
chwegrwn; ac a wnaeth yr hyn oll a ddy-
wedodd efe.
[h] Deut. 1. 25 A [h] Moses a ddewisodd wŷr grymmus
15. allan o holl Israel, ac a'u rhoddodd hwynt
yn bennaethiaid ar y bobl; yn dywysogion
ar filoedd, yn dywysogion ar gannoedd, yn
dywysogion ar ddegau a deugain, ac yn dy-
wysogion ar ddegau.
26 A hwy a farnasant y bobl bob amser:
y pethau caled a ddygent at Moses, a phob
peth bychan a farnent hwy eu hunain.
27 ¶ A Moses a ollyngodd ymaith ei [i] Num. 10.
chwegrwn; ac [i] efe a aeth adref i'w wlad. 29—32.

## PEN. XIX.

1 *Y bobl yn dyfod i Sinai.* 3 *Cennadwriaeth Duw* Chwefr. 6. P.
*at y bobl trwy law Moses allan o'r mynydd.*
8 *Dwyn atteb y bobl at Dduw.* 10 *Parottôi*
*y bobl erbyn y trydydd dydd.* 12 *Ni wasa-*
*naetha cyffwrdd â'r mynydd.* 16 *Dychryn-*
*llyd bresennoldeb Duw ar y mynydd.*

YN y trydydd mis, wedi dyfod meibion 1491.
Israel allan o wlad yr Aipht, y dydd
hwnnw [a] y daethant i anialwch Sinai. [a] Num. 33.
2 Canys hwy a aethant o Rephidim, ac a 15.
ddaethant i anialwch Sinai; gwersyllasant
hefyd yn yr anialwch: ac yno y gwersyllodd
Israel ar gyfer y mynydd.
3 [b] A Moses a aeth i fynu at DDUW: a'r [b] Act. 7. 38.
ARGLWYDD a alwodd arno ef o'r mynydd,
gan ddywedyd, Fel hyn y dywedi wrth dŷ
Jacob, ac y mynegi wrth feibion Israel;
4 [c] Chwi a welsoch yr hyn a wneuthum [c] Deut. 29.
i'r Aiphtiaid; y modd [d] y codais chwi ar 2.
adenydd eryrod, ac y'ch dygais attaf fi fy [d] Deut. 32. 11.
hun. Esay 63. 9.
5 [e] Yn awr, gan hynny, os gan wrando y Dat. 12. 14.
gwrandêwch ar fy llais, a chadw fy nghyf- [e] Deut. 5. 2.
ammod; [f] chwi a fyddwch yn drysor pri- [f] Deut. 4.
odol i mi o flaen yr holl bobloedd: canys 20. a 7. 6.
[g] eiddo fi yr holl ddaear. a 14. 2, 21. a 26. 18. a
6 A chwi a fyddwch i mi yn [h] frenhin- 32. 8, 9.
iaeth o offeiriaid, ac yn genhedlaeth sanct- Psal. 135. 4.
aidd. Dyma 'r geiriau a lefari di wrth fei- Can. 8. 12. Esay 43. 1.
bion Israel. Jer. 10. 16.
7 ¶ A daeth Moses, ac a alwodd am hen- Mal. 3. 17. Tit. 2. 14.
uriaid y bobl; ac a osododd ger eu bron [g] Deut. 10.
hwynt yr holl eiriau hyn a orchymynasai 'r 14.
ARGLWYDD iddo. Psal. 24. 1.
8 [i] A'r holl bobl a gyd-attebasant, ac a a 50. 12.
ddywedasant, Nyni a wnawn yr hyn oll a [h] 1 Petr 2. 5, 9.
lefarodd yr ARGLWYDD. A Moses a ddug Dat. 1. 6.
drachefn eiriau 'r bobl at yr ARGLWYDD. a 5. 10. a 20. 6.
9 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth [i] Pen. 24.
Moses, Wele, mi a ddeuaf attat [k] mewn 3, 7.
cwmmwl tew, fel y clywo 'r bobl pan ym- Deut. 5. 27.
ddiddanwyf â thi, ac fel [l] y credont it' byth. a 26. 17.
A Moses a fynegodd eiriau 'r bobl i'r AR- [k] Ad. 16. Pen. 20. 21.
GLWYDD. a 24. 15, 16.
10 ¶ Yr ARGLWYDD hefyd a ddywed- Psal. 18. 11, 12.
odd wrth Moses, Dos at y bobl, a sanct- [l] Pen. 14.
eiddia hwynt heddyw ac y foru; a [m] golch- 31.
ant eu dillad, [m] Gen. 35.
11 A byddant barod erbyn y trydydd 2.
dydd: o herwydd y trydydd dydd [n] y dis- [n] Pen. 34.
gyn yr ARGLWYDD yngolwg yr holl bobl ar 5.
fynydd Sinai. Deut. 33. 2.
12 A gosod derfyn i'r bobl o amgylch,
gan ddywedyd, Gwyliwch arnoch, rhag my-
ned i fynu i'r mynydd, neu gyffwrdd â'i
gwrr ef: [o] pwy bynnag a gyffyrddo â'r [o] Heb. 12.
mynydd, a leddir yn farw. 20.
13 Na chyffyrdded llaw ag ef, onid gan
labyddio llabyddier ef, neu gan saethu
saether ef; pa un bynnag ai dyn ai anifail
fyddo, ni chaiff fyw: pan gano 'r † udgorn † Neu, *cornet.*
yn hirllaes, deuant i'r mynydd.
14 ¶ A Moses a ddisgynodd o'r mynydd
at y bobl, ac a sancteiddiodd y bobl; a hwy
a olchasant eu dillad.

15 Ac efe a ddywedodd wrth y bobl, Byddwch barod erbyn y trydydd dydd; [p] nac ewch yn agos at eich gwragedd.

16 A'r trydydd dydd, ar y boreddydd, yr oedd [q] taranau, a mellt, a chwmmwl tew ar y mynydd, a llais yr udgorn ydoedd gryf iawn; fel y dychrynodd yr holl bobl oedd yn y gwersyll.

17 A [r] Moses a ddug y bobl allan o'r gwersyll i gyfarfod â Duw; a hwy a safasant yngodre 'r mynydd.

18 A [s] mynydd Sinai oedd i gýd yn mygu, o herwydd disgyn o'r Arglwydd arno mewn tân: a'i fwg a ddyrchafodd fel mwg ffwrn, [t] a'r holl fynydd a grynodd yn ddirfawr.

19 Pan ydoedd llais yr udgorn yn hir, ac yn cryfhâu fwyfwy, [u] Moses a lefarodd; a [x] Duw a attebodd mewn llais.

20 A'r Arglwydd a ddisgynodd ar fynydd Sinai, ar ben y mynydd: a galwodd yr Arglwydd Moses i ben y mynydd; a Moses a aeth i fynu.

21 A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Dos i wared, † gorchymyn i'r bobl; rhag iddynt ruthro at yr Arglwydd [y] i bylldremmu, a chwympo llawer o honynt.

22 Ac ymsancteiddied yr offeiriaid hefyd, y rhai a nesânt at yr Arglwydd; rhag i'r Arglwydd ruthro arnynt.

23 A dywedodd Moses wrth yr Arglwydd, Ni ddichon y bobl ddyfod i fynu i fynydd Sinai: oblegid ti a dystiolaethaist wrthym, gan ddywedyd, Gosod derfyn yngbylch y mynydd, a sancteiddia ef.

24 A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Dos, cerdda i wared; a thyred i fynu, ac Aaron gyd â thi: ond na ruthred yr offeiriaid a'r bobl, i ddyfod i fynu at yr Arglwydd; rhag iddo yntau ruthro arnynt hwy.

25 Yna'r aeth Moses i wared at y bobl, ac a ‡ ddywedodd wrthynt.

[p] 1 Sam. 21. 4. 5. Zec. 7. 3. 1 Cor. 7. 5. [q] Heb. 12. 18. [r] Deut. 4. 10. [s] Deut. 4. 11. a 32. 2. Barn. 5. 4. Psalm 68. 7. 8. Hab. 3. 3. [t] Heb. 12. 26. [u] Heb. 12. 21. [x] Neh. 9. 13. Psal. 81. 7. † rhybuddia'r. [y] Edrych 1 Sam. 6. 19. ‡ lefarodd.

## PEN. XX.

*1 Y deg gorchymyn. 18 Y bobl yn ofni. 20 Moses yn eu cysuro hwy. 22 Gwahardd gau-dduwiaeth. 24 Portreiad yr allor.*

Dydd Mawrth Pasg, B. Chwefror 7. B.

1491.

A Duw a lefarodd yr holl eiriau hyn, gan ddywedyd,

2 [a] Myfi *yw* yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a'th ddug di allan o wlad yr Aipht, [b] o dŷ y † caethiwed.

3 Na fydded it' dduwiau eraill ger fy mron i.

4 [c] Na wna it' ddelw gerfiedig, na llun dim a'r *y sydd* yn y nefoedd uchod, nac a'r *y sydd* yn y ddaear isod, nac a'r *sydd* yn y dwfr tan y ddaear.

5 Nac ymgrymma iddynt, ac na wasanaetha hwynt: oblegid myfi yr Arglwydd dy Dduw, *wyf* Duw [d] eiddigus; [e] yn ymweled ag anwiredd y tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd *genhedlaeth* o'r rhai a'm casânt;

6 [f] Ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai a'm carant, ac a gadwant fy ngorchymynion.

7 [g] Na chymmer enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer: canys [h] nid dïeuog gan yr Arglwydd yr hwn a gymmero ei enw ef yn ofer.

8 Cofia y dydd Sabboth, i'w sancteiddio ef.

9 [i] Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnai dy holl waith.

[a] Lef. 26. 1. Deut. 5. 6. Psal. 81. 10. Hos. 13. 4. [b] Pen. 13. 3. † Heb. gweision. [c] Lef. 26. 1. Deut. 4. 15. Psal. 97. 7. [d] Pen. 34. 14. Deut. 6. 15. Jos. 24. 19. Nah. 1. 2. [e] Pen. 34. 7. Lef. 20. 5. Num. 14. 18, 33. 1 Bren. 21. 29. Job 5. 4. a 21. 19. Salm 109. 14. Esa. 14. 20. 21. a 65. 7. Jer. 2. 9. a 32. 18. [f] Deut. 7. 9. Psal. 109. 34. [g] Lef. 19. 12. Deut. 5. 11. Mat. 5. 33. [h] Mic. 6. 11. [i] Pen. 23. 12. a 31. 14. a 34. 21. Lef. 23. 3. Ezec. 20. 12. Luc 13. 14.

10 Ond y seithfed dydd *yw* Sabboth yr Arglwydd dy Dduw: na wna *ynddo* ddim gwaith, tydi, na'th fab, na'th ferch, na'th wasanaethwr, na'th wasanaethferch, na'th anifail, na'th ddïeithr ddyn a fyddo o fewn dy byrth.

11 O herwydd *mewn* [k] chwe diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd y nefoedd a'r ddaear, y môr, a'r hyn oll *sydd* ynddynt; ac a orphwysodd y seithfed dydd: am hynny y bendithiodd yr Arglwydd y dydd Sabboth, ac a'i sancteiddiodd ef.

12 ¶ [l] Anrhydedda dy dad a'th fam; fel yr estyner dy ddyddiau ar y ddaear, yr hon y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei rhoddi i ti.

13 [m] Na ladd.

14 [n] Na wna odineb.

15 Na ladratta.

16 [o] Na ddwg gam dystiolaeth yn erbyn dy gymmydog.

17 [p] Na chwennych dŷ dy gymmydog, [q] na chwennych wraig dy gymmydog, na'i wasanaethwr, na'i wasanaethferch, na'i ŷch, na'i asyn, na dim a'r *sydd* eiddo dy gymmydog.

18 ¶ [r] A'r holl bobl a welsant y taranau, a'r mellt, a sain yr udgorn, a'r mynydd yn mygu: a phan welodd y bobl, ciliasant, a safasant o hirbell.

19 A dywedasant wrth Moses, [s] Llefara di wrthym ni, a nyni a wrandawn: ond na lefared Duw wrthym, rhag i ni farw.

20 A dywedodd Moses wrth y bobl, Nac ofnwch; o herwydd i'ch profi chwi y daeth Duw, ac i fod ei ofn ef ger eich bronnau, fel na phechech.

21 A safodd y bobl o hirbell; a nesaodd Moses i'r [t] tywyllwch, lle *yr ydoedd* Duw.

22 ¶ A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Moses, Fel hyn y dywedi wrth feibion Israel; Chwi a welsoch mai [u] o'r nefoedd y lleferais wrthych.

23 Na wnewch [x] gyd â mi dduwiau arian, ac na wnewch i chwi dduwiau aur.

24 ¶ Gwna i mi allor bridd, ac abertha arni dy boeth-ebyrth a'th offrymmau hedd, [y] dy ddefaid, a'th eidionau: ym mhob man lle y rhoddwyf goffadwriaeth o'm henw, y deuaf attat, ac y'th fendithiaf.

25 Ond [z] os gwnai i mi allor gerrig, na wna hi o gerrig nadd: pan gottech dy forthwyl arni, ti a'i halogaist hi.

26 Ac na ddos i fynu ar hŷd grisiau i'm hallor; fel nad amlyger dy noethni wrthi.

[k] Gen. 2. 2. [l] Lef. 19. 3. Deut. 5. 16. Mat. 15. 4. Eph. 6. 2. [m] Mat. 5. 21. Rhuf. 13. 9. [n] Mat. 5. 27. [o] Deut. 19. 16. [p] Act. 20. 33. Rhuf. 7. 7. [q] Job 31. 9. [r] Heb. 12. 18. [s] Deut. 5. 24. a 18. 16. Gal. 3. 19, 20. Heb. 12. 19. [t] Pen. 19. 16. 1 Bren. 8. 12. [u] Deut. 4. 36. Neh. 9. 13. [x] Edrych 1 Sam. 5. 4. 5. 2 Bren. 17. 33. Ezec. 20. 39. a 43. 8. Seph. 1. 4, 5. 2 Cor. 6. 14, 15, 16. [y] Lef. 1. 2. [z] Deut. 27. 5. Jos. 8. 31. 1 Mac. 4. 47.

## PEN. XXI.

*1 Cyfreithiau gweision. 5 Am y gwas a dyller ei glust. 7 Am forwynion. 12 Am lofruddiaeth. 16 Am ladron dynion. 17 Am y rhai a felldithio eu rhïeni. 18 Am darawdr. 22 Am friw damwain. 28 Am ŷch a gornio. 33 Am yr hwn a fo achos o niweid i eraill.*

Chwefr. 7. P.

1491.

DYMA 'r barnedigaethau a [a] osodi di ger eu bron hwynt.

2 [b] Os pryni was o Hebread, gwasanaethed chwe blynedd; a'r seithfed y caiff yn rhad fyned ymaith yn rhŷdd.

3 Os † ar ei ben ei hun y daeth, ar ei ben ei hun y caiff fyned allan: os perchen gwraig fydd efe, aed ei wraig allan gyd ag ef.

4 Os ei feistr a rydd wraig iddo, a hi yn planta iddo feibion, neu ferched; y wraig a'i phlant fydd eiddo ei meistr, ac aed efe allan ar ei ben ei hun.

[a] Pen. 24. 3, 4. [b] Lef. 25. 39. Deut. 15. 12. Jer. 34. 14. † Heb. â'i gorph.

c Deut. 15. 16.

5 c Ac os gwas gan ddywedyd a ddywed, Hoff gennyf fi fy meistr, fy ngwraig, a'm plant; nid af fi allan yn rhŷdd:

† Neu, *ystlysbost.*

6 Yna dyged ei feistr ef at y barnwŷr; a dyged ef at y ddor, neu at yr † orsin: a thylled ei feistr ei glust ef â mynawyd; ac efe a'i gwasanaetha ef byth.

7 ¶ Ac os gwerth gwr ei ferch yn forwyn gaeth, ni chaiff hi fyned allan fel yr el y gweision caeth allan.

‡ Heb. *drwg fydd hi.*

8 Os ‡ heb ryglyddu bodd yngolwg ei meistr y bydd hi, yr hwn a'i cymmerodd hi yn ddyweddi; yna gadawed ei hadbrynu hi: ni bydd rhŷdd iddo ei gwerthu hi i bobl ddïeithr, wedi iddo ef ei thwyllo hi.

9 Ac os i'w fab y dyweddïodd efe hi, gwnaed iddi yn ol deddf y merched.

10 Ac os arall a brïoda efe, na wnaed yn llai ei hymborth, ei dillad, na'i dyled prïodas.

11 Ac os y tri hyn ni's gwna efe iddi; yna aed hi allan yn rhad heb arian.

d Gen. 9. 6. Lef. 24. 17. Mat. 26. 52.

12 ¶ Rhodder i farwolaeth d y neb a darawo wr, fel y byddo marw.

e Num. 35. 11. Deut. 19. 3. Jos. 20. 2.

13 Ond yr hwn ni chynllwynodd, onid rhoddi o Dduw ef yn ei law ef, e mi a osodaf it' fan lle y caffo ffoi.

f 1 Bren. 2. 28. 2 Bren. 11. 15.

14 Ond os daw dyn yn rhyfygus ar ei gymmydog, i'w ladd ef trwy dwyll; f cymmer ef i farwolaeth oddi wrth fy allor.

15 ¶ Y neb a darawo ei dad, neu ei fam, rhodder ef i farwolaeth.

g Deut. 24. 7.

16 ¶ g Yr hwn a ladrattao ddyn, ac a'i gwertho, neu os cair ef yn ei law ef, rhodder ef i farwolaeth.

h Lef. 20. 9. Diar. 20. 20. Mat. 15. 4. Mar. 7. 10.

17 ¶ h Rhodder i farwolaeth yr hwn a § felldithio ei dad, neu ei fam.

§ Neu, *gabla.*

|| Neu, *ei gymmydog.*

18 ¶ A phan ymrysono dynion, a tharo o'r naill || y llall â charreg, neu â dwrn, ac efe heb farw, ond gorfod iddo orwedd;

† Heb. *orphwys.*

19 Os cyfyd efe, a rhodio allan wrth ei ffon; yna y tarawydd a fydd dïangol: yn unig rhodded ei golled am ei † waith, a chan feddyginiaethu meddyginiaethed ef.

20 ¶ Ac os tery un ei wasanaethwr, neu ei wasanaethferch, â gwïalen, fel y byddo farw dan ei law ef; gan ddïal dïaler arno.

i Lef. 25. 46.

21 Ond os erys ddiwrnod, neu ddau ddiwrnod, na ddïaler arno; canys i *gwerth* ei arian ei hun ydoedd efe.

22 ¶ Ac os ymrafaelia dynion, a tharo o honynt wraig feichiog, fel yr el ei beichiogi oddi wrthi, ac heb fod marwolaeth: gan gospi cosper ef, fel y gosodo gwr y wraig arno; a rhodded *hynny* trwy farnwŷr.

23 Ac os marwolaeth fydd; rhodder einioes am einioes,

k Lef. 24. 20. Deut. 19. 21. Mat. 5. 38.

24 k Llygad am lygad, dant am ddant, llaw am law, troed am droed,

25 Llosg am losg, archoll am archoll, a chlais am glais.

26 ¶ Os tery un lygad ei wasanaethwr, neu lygad ei wasanaethferch, fel y llygro ef; gollynged ef yn rhŷdd am ei lygad.

27 Ac os tyrr efe ymaith ddant ei wasanaethwr, neu ddant ei wasanaethferch; gollynged ef yn rhŷdd am ei ddant.

l Gen. 9. 5.

28 ¶ Ac os ŷch a gornia wr neu wraig, fel y byddo farw: l gan labyddio llabyddier yr ŷch, ac na fwytäer ei gig ef; ac aed perchen yr ŷch yn rhŷdd.

29 Ond os yr ŷch oedd yn cornio o'r blaen, a *hynny* trwy dystion wedi ei hyspysu i'w berchennog; ac efe heb ei gadw ef, ond lladd o hono wr neu wraig: yr ŷch a labyddir, a'i berchennog a roddir i farwolaeth hefyd.

m Num. 35. 31.

30 Os iawn a roddir arno, rhodded m werth am ei einioes, yn ol yr hyn oll a osoder arno.

31 Os mab a gornia efe, neu ferch a gornia efe; gwneler iddo yn ol y farnedigaeth hon.

n Edrych Mat. 26. 15. Phil. 2. 7.

32 Ond os gwasanaethwr, neu wasanaethferch, a gornia 'r ŷch; rhodded i'w perchennog n ddeg sicl ar hugain o arian, a llabyddier yr ŷch.

33 ¶ Ac os egyr gwr bydew, neu o's cloddia un bydew, ac heb gau arno; a syrthio yno ŷch, neu asyn;

‡ Neu, *yn eiddo yntau.*

34 Perchen y pydew a dâl *am danynt*: arian a dâl efe i'w perchennog; a'r *anifail* marw a fydd ‡ iddo yntau.

35 ¶ Ac os ŷch gwr a dery ŷch ei gymmydog, fel y byddo efe farw; yna gwerthant yr ŷch byw, a rhannant ei werth ef, a'r *ŷch* marw a rannant hefyd.

§ Heb. *iddo ef.*

36 Neu os gwybuwyd ei fod ef yn ŷch hwyliog o'r blaen, a'i berchennog heb ei gadw ef; gan dalu taled ŷch am ŷch, a bydded y marw § yn eiddo ef.

## PEN. XXII.

Chwefr. 8. B.

1 *Am ladrad.* 5 *Am golled.* 7 *Am sarhâd.* 14 *Am fenthyg.* 16 *Am anniweirdeb.* 18 *Am ddewiniaeth.* 19 *Am orwedd gyd ag anifail.* 20 *Am ddelw-addoliaeth.* 21 *Am ddïeithriaid, a gweddwon, ac ymddifaid.* 25 *Am usuriaeth.* 26 *Am wystlon.* 28 *Am barch i swyddogion.* 29 *Am flaen-ffrwythau.*

1491.

† Neu, *afr.*

OS lladratta un ŷch neu † ddafad, a'i ladd, neu ei werthu; taled bùm ŷch am ŷch, a a phedair dafad am ddafad.

a 2 Sam. 12. 6. Luc 19. 8. Edrych Diar. 6. 31.

2 ¶ Os cair lleidr yn torri *tŷ*, a'i daro fel y byddo farw; na *choller* gwaed am dano.

3 Os bydd yr haul wedi codi arno, *coller* gwaed am dano; efe a ddyly gwbl-dalu: oni bydd dim ganddo, gwerther ef am ei ladrad.

4 Os gan gael y cair yn ei law ef y lladrad yn fyw, o eidion, neu asyn, neu ddafad; taled yn ddwbl.

5 ¶ Os pawr un faes, neu winllan, a gyrru ei anifail i bori maes un arall; taled o'r hyn goreu yn ei faes ei hun, ac o'r hyn goreu yn ei winllan ei hun.

6 ¶ Os tân a dyrr allan, ac a gaiff afael mewn drain, fel y difaer das o ŷd, neu ŷd ar ei droed, neu faes; cwbl daled yr hwn a gynneuodd y tân.

7 ¶ Os rhydd un i'w gymmydog arian, neu ddodrefn i gadw, a'i ladratta o dŷ 'r gwr; os y lleidr a gair, taled yn ddwbl:

8 Os y lleidr ni chair, dyger perchennog y tŷ at y swyddogion *i dyngu*, a estynodd efe ei law at ddâ ei gymmydog.

9 Am bob math ar gamwedd, am eidion, am asyn, am ddafad, am ddilledyn, *ac am* bob peth a gollo 'r hwn y dywedo *arall* ei fod yn eiddo: deued achos y ddau ger bron y barnwŷr; a'r hwn y barno'r swyddogion yn ei erbyn, taled i'w gymmydog yn ddwbl.

10 Os rhydd un asyn, neu eidion, neu ddafad, neu un anifail, at ei gymmydog i gadw, a 'marw o hono, neu ei friwo, neu ei yrru ymaith heb neb yn gweled:

11 Bydded llw 'r Arglwydd rhyngddynt ill dau, na roddes efe ei law at ddâ ei gymmydog; a chymmered ei berchennog *hynny*, ac na wnaed *y llall* iawn.

12 [b] Ac os gan ladratta y lladrattêir ef oddi wrtho; gwnaed iawn i'w berchennog.

13 Os gan ysglyfaethu yr ysglyfaethir ef; dyged ef yn dystiolaeth, *ac* na thaled am yr hwn a ysglyfaethwyd.

14 ¶ Ond os benthyccia un gan ei gymmydog *ddim*, a'i friwo, neu ei farw, heb *fod* ei berchennog gyd ag ef; gan dalu taled.

15 Os ei berchennog *fydd* gyd ag ef, na thaled: os llog *yw* efe, am ei log y daeth.

16 ¶ [c] Ac os huda un forwyn yr hon ni ddyweddïwyd, a gorwedd gyd â hi; gan gynnysgaeddu cynnysgaedded hi 'n wraig iddo ei hun.

17 Os ei thad a lwyr-wrthyd ei rhoddi hi iddo, † taled arian yn ol gwaddol morwynion.

18 ¶ [d] Na chaffed hudoles fyw.

19 ¶ [e] Llwyr-rodder i farwolaeth bob un a orweddo gyd ag anifail.

20 ¶ [f] Lladder yn farw a abertho i dduwiau, onid i'r ARGLWYDD yn unig.

21 ¶ [g] Na orthrymma, ac na flina y dïeithr: canys dïeithriaid fuoch chwithau yn nhir yr Aipht.

22 ¶ [h] Na chystuddiwch un weddw, nac ymddifad.

23 Os cystuddiwch hwynt mewn un modd, a gwaeddi o honynt ddim arnaf; mi a lwyrwrandawaf eu gwaedd hwynt;

24 A'm digofaint a ennyn, a mi a'ch lladdaf â'r cleddyf; a bydd [i] eich gwragedd yn weddwon, a'ch plant yn ymddifaid.

25 ¶ [k] Os echwyni arian i'm pobl *sy* dlawd yn dy ymyl, na fydd fel occrwr iddynt; na ddod usuriaeth arnynt.

26 [l] Os cymmeri ddilledyn dy gymmydog ar wystl, dyro ef adref iddo erbyn machludo haul:

27 O herwydd hynny yn unig *sydd* i'w roddi arno ef; hwnnw yw ei ddilledyn am ei groen ef: mewn pa beth y gorwedd? A bydd, os gwaedda efe arnaf, i mi wrando: canys trugarog *ydwyf* fi.

28 ¶ [m] Na chabla'r ‡ swyddogion; ac na felldithia bennaeth dy bobl.

29 ¶ Nac oeda *dalu* § 'r cyntaf o'th ffrwythau addfed, ac o'th ‖ bethau gwlybion: dod i mi [n] y cyntaf-anedig o'th feibion.

30 Felly y gwnai am dy eidion, *ac* am dy ddafad; [o] saith niwrnod y bydd gyd â'i fam, a'r wythfed dydd y rhoddi ef i mi.

31 ¶ A byddwch yn ddynion sanctaidd i mi: [p] ac na fwyttêwch gig wedi ei ysglyfaethu yn y maes; teflwch ef i 'r ci.

b Gen. 31. 39. c Deut. 22. 28. † Heb. *pwysed.* d Lef. 19. 26, 31. a 20. 27. Deut. 18. 10, 11. 1 Sam. 28. 9. e Lef. 18. 23. a 20. 15. f Deut. 13. 6, 13, &c. a 17. 2. 1 Mac. 2. 24. g Exod. 23. 9. Lef. 19. 33. a 25. 35. h Zec. 7. 10. Deut. 10. 18. a 24. 17. a 27. 19. Esay 1. 17. Iago 1. 27. i Psalm 109. 9. k Lef. 25. 35, 36, 37. Deut. 23. 19. Neh. 5. 7. Psal. 15. 5. Ezec. 18. 8, 17. l Deut. 24. 6, 10, 13. Job 24. 3, 9. Diar. 20. 16. a 22. 27. Amos 2. 8. m Preg. 10. 20. Act. 23. 5. Jud. 8. ‡ *duwiau.* § Heb. *dy gyflawnder.* ‖ Heb. *ddagrau.* n Pen. 13. 2, 12. a 34. 19. Deut. 15. 19. o Lef. 22. 27. p Lef. 22. 8. Ezec. 44. 31.

## PEN. XXIII.

Chwefr. 8. P. 1491.

1 *Am enllib, a gau dystiolaeth.* 3, 6 *Am gyfiawnder.* 4 *Am gymmydogaeth.* 10 *Am y flwyddyn orphwys.* 12 *Am y Sabboth.* 13 *Am ddelw-addoliaeth.* 14 *Am y tair gwyl.* 18 *Am waed a brasder yr aberth.* 20 *Addaw angel, a bendithio, os hwy a ufuddhânt.*

NA † [a] chyfod enllib; na ddod dy law gyd â'r annuwiol i fod yn dyst anwir.

2 ¶ [b] Na ddilyn lïaws i *wneuthur* drwg; ac nac atteb mewn ymrafael, gan bwyso yn ol lliaweroedd, i ŵyro *barn.*

3 ¶ [c] Na pharcha'r tlawd chwaith yn ei ymrafael.

4 ¶ [d] Os cyfarfyddi ag eidion dy elyn, neu â'i asyn, yn myned ar gyfrgoll; dychwel ef adref iddo.

5 [e] Os gweli asyn yr hwn a'th gasâ yn gorwedd dan ei phwn; a beidi a'i gynnorthwyo? gan gynnorthwyo cynnorthwya gyd ag ef.

6 Na ŵyra farn dy dlawd yn ei ymrafael.

7 Ymgadw ym mhell oddi wrth gamfatter: na ladd chwaith na'r gwirion, na'r cyfiawn: canys [f] ni chyfiawnhâf fi 'r annuwiol.

8 ¶ [g] Na dderbyn wobr: canys gwobr a ddalla 'r ‡ rhai sy 'n gweled, ac a ŵyra eiriau 'r cyfiawn.

9 ¶ [h] Na orthrymma 'r dïeithr: chwi a wyddoch § galon y dïeithr; o herwydd chwi a fuoch ddïeithriaid yn nhir yr Aipht.

10 [i] Chwe blynedd yr heui dy dir, ac y cesgli ei ffrwyth:

11 A'r seithfed paid ag ef, a gad ef yn llonydd; fel y caffo tlodion dy bobl fwytta: a bwyttaed bwystfil y maes eu gweddill hwynt. Felly y gwnai am dy winllan, ac am dy olewŷdden.

12 [k] Chwe diwrnod y gwnai dy waith; ac ar y seithfed dydd y gorphwysi: fel y caffo dy ŷch a'th asyn lonyddwch, ac y cymmero mab dy forwyn gaeth, a'r dïeithr ddyn, ei anadl atto.

13 Ac ymgedwch ym mhob peth a ddywedais wrthych: [l] na chofiwch enw duwiau eraill; na chlywer *hynny* o'th enau.

14 ¶ [m] Teirgwaith yn y flwyddyn y cedwi wyl i mi.

15 [n] Gwyl y bara croyw a gedwi: saith niwrnod y bwyttâi fara croyw, fel y gorchymynais it, ar yr amser gosodedig o fis Abib: canys ynddo y daethost allan o'r Aipht: [o] ac nac ymddangosed *neb* ger fy mron yn waglaw:

16 A gwyl cynhauaf blaen-ffrwyth dy lafur, yr hwn a heuaist yn y maes; a gwyl y cynnull yn niwedd y flwyddyn, pan gynhullech dy lafur o'r maes.

17 Tair gwaith yn y flwyddyn yr ymddengys dy holl wrrywiaid ger bron yr ARGLWYDD *dy* DDUW.

18 [p] Nac abertha waed fy aberth gyd â bara lefeinllyd; ac nac arhôed brasder fy ‖ aberth dros nos hyd y bore.

19 [q] Dwg i dŷ 'r ARGLWYDD dy DDUW y cyntaf o flaen-ffrwyth dy dir. [r] Na ferwa fynn yn llaeth ei fam.

20 ¶ [s] Wele fi yn anfon angel o'th flaen i'th gadw ar y ffordd, ac i'th arwain i'r mann a barottoais.

21 Gwylia rhagddo, a gwrando ar ei lais ef; na chyffroa ef: canys ni ddioddef eich anwiredd: oblegid *y mae* fy enw ynddo ef.

22 Os gan wrando y gwrandewi ar ei lais ef, a gwneuthur y cwbl a lefarwyf; [t] mi a fyddaf elyn i 'th elynion, ac a wrthwynebaf dy wrthwynebwŷr.

23 [u] O herwydd fy angel a â o'th flaen di, [x] ac a'th ddwg di i mewn at yr Amoriaid, a'r Hethiaid, a'r Phereziaid, a'r Canaaneaid, yr Hefiaid, a'r Jebusiaid; a mi a'u difethaf hwynt.

24 Nac ymgrymma i'w duwiau hwynt, ac na wasanaetha hwynt, ac [y] na wna yn ol eu gweithredoedd hwynt; [z] ond llwyr-ddinystria hwynt, dryllia eu delwau hwynt yn gandryll.

25 A chwi a wasanaethwch yr ARGLWYDD eich DUW, ac [a] efe a fendithia dy fara, a'th ddwfr; a [b] mi a dynnaf ymaith *bob* clefyd o'th fysg.

26 ¶ [c] Ni bydd yn dy dir di ddim yn erthylu, na heb hilio: mi a gyflawnaf rifedi dy ddyddiau.

† Neu, *dderbyn.* a Psal. 15. 3. b Lef. 19. 15. Deut. 1. 17. c Psal. 72. 2. d Deut. 22. 1. Job 31. 29. Diar. 24. 17. a 25. 21. Mat. 5. 44. Rhuf. 12. 20. e Deut. 22. 4.

f Pen. 34. 7. g Deut. 16. 19. Diar. 17. 8, 23. Preg. 20. 29. ‡ *doethion.* h Pen. 22. 21. Deut. 10. 19. a 24. 14, 17. a 27. 19. § Heb. *enaid.* i Lef. 25. 3. k Pen. 20. 8. Deut. 5. 13. Luc 13. 14. l Num. 32. 38. Deut. 12. 3. Jos. 23. 7. Psal. 16. 4. Hos. 2. 17. Zec. 13. 2. m Lef. 23. 5. Deut. 16. 16. n Pen. 12. 15. a 13. 3. a 34. 18. o Pen. 34. 20. Deut. 16. 16. Eccl. 35. 4. p Pen. 34. 25. Lef. 2. 11. Deut. 16. 4. ‖ Neu, *ngwyl.* q Pen. 34. 26. r Deut. 14. 21. s Pen. 33. 2, 14. Num. 20. 16. t Gen. 12. 3. Deut. 30. 7. Jer. 30. 20. u Ad. 20. x Jos. 24. 11. y Lef. 18. 3. Deut. 12. 31. z Pen. 34. 13. Num. 34. 13. Num. 33. 52. Deut. 7. 5, 25. a 12. 3. a Deut. 28. 5, 8. b Pen. 15. 26. Deut. 7. 15. c Deut. 7. 14.

27 Mi a anfonaf fy arswyd o'th flaen, ac a ddifethaf yr holl bobl y deui attynt, ac a wnaf i'th holl elynion droi eu gwarrau attat.

28 A [d] mi a anfonaf gacewn o'th flaen, a hwy a yrrant yr Hefiaid, a'r Canaaneaid, a'r Hethiaid, allan o'th flaen di.

d Deut. 7. 20. Jos. 24. 12. Doe. 12. 8.

29 [e] Ni yrraf hwynt allan o'th flaen di mewn un flwyddyn; rhag bod y wlad yn anghyfannedd, ac i fwystfilod y maes amlhâu yn dy erbyn di.

e Deut. 7. 22.

30 O fesur ychydig ac ychydig y gyrraf hwynt allan o'th flaen di, nes i ti gynnyddu ac etifeddu 'r tir.

31 A [f] gosodaf dy derfyn o'r môr coch hyd fôr y Philistiaid, ac o'r diffaethwch hyd yr afon: canys mi a roddaf yn eich meddiant breswylwŷr y tir; a thi a'u gyrri hwynt allan o'th flaen.

f Gen. 15. 18. Num. 34. 3. Deut. 11. 24. Jos. 1. 4. 1 Bren. 4 21, 24. Psal. 72. 8

32 [g] Na wna ammod â hwynt, nac â'u duwiau.

g Pen. 34. 15. Deut. 7. 2.

33 Na ad iddynt drigo yn dy wlad; rhag iddynt beri it' bechu i'm herbyn: canys os gwasanaethi di eu duwiau hwynt, [h] diau y bydd *hynny* yn dramgwydd i ti.

h Pen. 34. 12. Deut. 7. 16. Jos. 23. 13. Barn. 2. 3. 1 Sam. 18. 21. Psal. 106. 36.

## PEN. XXIV.

Chwefr. 9. B.

1 *Galw Moses i'r mynydd.* 3 *Y bobl yn addaw ufudd-dod.* 4 *Moses yn adeiladu allor a deuddeg colofn:* 6 *yn taenellu gwaed y cyfammod.* 14 *Aaron a Hur á siars y bobl arnynt.* 15 *Moses yn myned i'r mynydd; lle y mae efe yn aros ddeugain niwrnod a deugain nos.*

1491.

AC efe a ddywedodd wrth Moses, Tyred i fynu at yr ARGLWYDD, ti ac Aaron, Nadab ac Abihu, a'r deg a thrugain o henuriaid Israel; ac addolwch o hirbell.

2 Ac aed Moses ei hun at yr ARGLWYDD; ac na ddelont hwy, ac nac aed y bobl i fynu gyd ag ef.

3 ¶ A Moses a ddaeth, ac a fynegodd i'r bobl holl eiriau 'r ARGLWYDD, a'r holl farnedigaethau. Ac attebodd yr holl bobl yn un-air, ac a ddywedasant, [a] Ni a wnawn yr holl eiriau a lefarodd yr ARGLWYDD.

a Pen. 19. 8. Adn. 7. Deut. 5. 27.

4 A Moses a 'sgrifenodd holl eiriau 'r ARGLWYDD; ac a gododd yn fore, ac a adeiladodd allor is law 'r mynydd, a deuddeg colofn, yn ol deuddeg llwyth Israel.

5 Ac efe a anfonodd langciau meibion Israel; a hwy a offrymmasant boeth-offrymmau, ac a aberthasant fustych yn ebyrth hedd i'r ARGLWYDD.

6 A chymmerodd Moses hanner y gwaed, ac a'i gosododd mewn cawgiau, a hanner y gwaed a daenellodd efe ar yr allor.

7 Ac efe a gymmerth lyfr y cyfammod, ac a'i darllenodd lle y clywai 'r bobl. A dywedasant, [b] Ni a wnawn, ac a wrandâwn yr hyn oll a lefarodd yr ARGLWYDD.

b Adn. 3.

8 A chymmerodd Moses y gwaed, ac a'i taenellodd ar y bobl; ac a ddywedodd, Wele, [c] waed y cyfammod, yr hwn a wnaeth yr ARGLWYDD â chwi, yn ol yr holl eiriau hyn.

c Heb. 9. 20. a 13. 20. 1 Petr. 1. 2.

9 ¶ Yna 'r aeth Moses i fynu, ac Aaron, Nadab ac Abihu, a deg a thrugain o henuriaid Israel.

10 A gwelsant DDUW Israel; a than ei draed megis gwaith o faen [d] saphir, ac fel corph y nefoedd o ddisgleirder.

d Ezec. 1. 26. a 10. 1.

11 Ac ni roddes ei law ar bendefigion meibion Israel; ond [e] gwelsant DDUW, a bwyttasant ac yfasant.

e Gen. 16. 13. a 32. 30. Pen. 33. 20. Deut. 4. 33. Barn. 13. 23.

12 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, Tyred i fynu attaf i'r mynydd, a bydd yno: a mi a roddaf it' [f] llechau cerrig, a chyfraith, a gorchymynion, y rhai a 'sgrifenais, i'w dysgu hwynt.

f Pen. 31. 18. a 32. 16.

13 A chododd Moses, a Josua [g] ei weinidog; ac aeth Moses i fynu i fynydd DUW.

g Pen. 32. 17.

14 Ac wrth yr henuriaid y dywedodd, Arhoswch ni yma, hyd oni ddelom ni attoch drachefn: ac wele, Aaron a Hur gyd â chwi; pwy bynnag *a fyddo* ag achos iddo, deued attynt hwy.

15 A Moses a aeth i fynu i'r mynydd; a [h] chwmmwl a orchuddiodd y mynydd.

h Pen. 19. 9, 16.

16 A [i] gogoniant yr ARGLWYDD a arhôdd ar fynydd Sinai, a'r cwmmwl a'i gorchuddiodd chwe diwrnod: ac efe a alwodd am Moses y seithfed dydd o ganol y cwmmwl.

i Num. 14. 10.

17 A'r golwg ar ogoniant yr ARGLWYDD *oedd* fel tân [k] yn difa ar ben y mynydd; yngolwg meibion Israel.

k Deut. 4. 36.

18 A Moses a aeth i ganol y cwmmwl, ac a aeth i fynu i'r mynydd: a [l] bu Moses yn y mynydd ddeugain niwrnod a deugain nos.

l Pen. 34. 28. Deut. 9. 9.

## PEN. XXV.

1 *Pa beth sydd raid i'r Israeliaid ei offrwm tu ag at wneuthur y babell.* 10 *Dull yr arch.* 17 *Y drugareddfa a'r cerubiaid.* 23 *Y bwrdd a'i arlwy.* 31 *Y canhwyllbren a'i offer.*

A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, gan ddywedyd, 1491.

2 Dywed wrth feibion Israel, † am ddwyn o honynt i mi ‡ offrwm: [a] gan bob gwr ewyllysgar ei galon y cymmerwch fy offrwm.

† Heb. *gymmeryd.* ‡ *offrwm dyrchafael*

3 A dyma 'r offrwm a gymmerwch ganddynt; aur, ac arian, a phres,

a Pen. 35. 5.

4 A *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad, a § lliain main, a *blew* geifr,

1 Chron. 29. 3, 5, 9, 14. Ezra 2. 68. a 3. 5. Neh. 11. 2.

5 A chrwyn hyrddod yn gochion, a chrwyn daearfoch, a choed Sittim,

§ *sidan.*

6 [b] Olew i'r goleuni, [c] llysieuau i olew 'r ennaint, ac i'r [d] per-arogl-darth,

b Pen. 27. 20.

7 Meini onix, a meini i'w gosod yn [e] yr ephod, ac yn [f] y ddwyfronneg.

c Pen. 30. 23.

8 A gwnant i mi gyssegr; fel [g] y gallwyf drigo yn eu mysg hwynt.

d Pen. 30. 34.

9 Yn ol holl waith y tabernacl, a gwaith ei holl ddodrefn y rhai 'r ydwyf yn eu dangos it', felly y gwnewch.

e Pen. 28. 4, 6. f Pen. 28. 15. g Pen. 29. 45. 1 Bren. 6. 12. 2 Cor. 6. 16. Heb. 3. 6. Dat. 21. 3.

10 ¶ A [h] gwnant arch o goed Sittim, o ddau gufydd a hanner ei hŷd, a chufydd a hanner ei lled, a chufydd a hanner ei huchder.

11 A gwisg hi ag aur coeth; o fewn ac oddi allan y gwisgi hi: a gwna arni goron o aur o amgylch.

12 Bwrw iddi hefyd bedair modrwy aur, a dod ar ei phedair congl; dwy fodrwy ar un ystlys iddi, a dwy fodrwy ar yr ystlys arall iddi.

h Pen. 37. 1. Heb. 9. 4.

13 A gwna drosolion o goed Sittim, a gwisg hwynt ag aur.

14 A gosod y trosolion trwy 'r modrwyau gan ystlys yr arch, i ddwyn yr arch arnynt.

15 [i] Ym modrwyau 'r arch y bydd y trosolion; na symmuder hwynt oddi wrthi.

i 1 Bren. 8. 8.

16 A dod yn yr arch [k] y dystiolaeth a roddaf it'.

k Pen 16. 34. a 31. 18. Deut. 10. 2. 1 Bren. 8. 9. Heb. 9. 4.

17 A [l] gwna drugareddfa o aur coeth, o ddau gufydd a hanner ei hŷd, a chufydd a hanner ei lled.

18 A gwna ddau gerub o aur; o gyfanwaith morthwyl y gwnai hwynt, yn nau gwrr y drugareddfa.

l Pen. 37. 6.

19 Un cerub a wnai yn y naill ben, a'r

cerub arall yn y pen arall: † o'r drugareddfa ar ei dau ben hi y gwnewch y cerubiaid.

† Neu, *o ddeunydd y drugareddfa.*

20 A bydded [m] y cerubiaid yn lledu *eu* hesgyll i fynu, gan orchuddio 'r drugareddfa â'u hesgyll, a'u hwynebau bob un at eu gilydd: tu a'r drugareddfa y bydd wynebau 'r cerubiaid.

[m] 1 Bren. 8. 7. 1 Chron. 28. 18. Heb. 9. 5.

21 A dod y drugareddfa i fynu ar yr arch, ac yn yr arch dod y dystiolaeth a roddaf i ti.

22 A [n] mi a gyfarfyddaf â thi yno, ac a lefaraf wrthyt oddi ar y drugareddfa, oddi rhwng y ddau gerub y rhai a fyddant ar arch y dystiolaeth, yr holl bethau a orchymynwyf wrthyt i feibion Israel.

[n] Pen. 29. 42. a 30. 36. Lef. 16. 2. Num. 7. 89. a 17. 4.

23 ¶ A [o] gwna di fwrdd o goed Sittim, o ddau gufydd ei hŷd, a chufydd ei led, a chufydd a hanner ei uchder.

[o] Pen. 37. 10. 1 Bren. 7. 48. 2 Chron. 4. 8.

24 A gosod aur coeth drosto, a gwna iddo goron o aur o amgylch.

25 A gwna iddo wregys *o led* llaw o amgylch, a gwna goron aur ar ei wregys o amgylch.

26 A gwna iddo bedair modrwy o aur, a dod y modrwyau wrth y pedair congl y rhai *a fyddant* ar ei bedwar troed.

27 Ar gyfer y cylch y bydd y modrwyau, yn lleoedd i 'r trosolion i ddwyn y bwrdd.

28 A gwna'r trosolion o goed Sittim, a gwisg hwynt ag aur, fel y dyger y bwrdd arnynt.

29 A gwna [p] ei ddysglau ef, a'i lwyau, a'i gaeadau, a'i phïolau, y rhai y ‡ tywelltir â hwynt: o aur coeth y gwnai hwynt.

[p] Num. 4. 7.
‡ Neu, *gorchuddir.*

30 A dod ar y bwrdd [q] y bara dangos ger bron fy wyneb yn wastadol.

[q] Lef. 24. 5.

31 ¶ [r] Gwna hefyd ganhwyllbren: o aur pur yn gyfanwaith y gwnair y canhwyllbren; ei baladr, ei geingciau, ei bedyll, ei gnapiau, a'i flodau, a fyddant o'r un.

[r] Pen. 37. 17. 1 Bren. 7. 49. Zec. 4. 2. Dat. 1. 12. a 4. 5.

32 A *bydd* chwe chaingc yn dyfod allan o'i ystlysau; tair caingc o'r canhwyllbren o un tu, a thair caingc o'r canhwyllbren o'r tu arall.

33 Tair padell o waith almonau, cnap a blodeuyn ar un gaingc; a thair padell o waith almonau, cnap a blodeuyn ar gaingc arall: felly ar y chwe chaingc *a fyddo* 'n dyfod allan o'r canhwyllbren.

34 Ac yn y canhwyllbren y bydd pedair padell ar waith almonau, a'u cnapiau a'u blodau.

35 A bydd cnap dan ddwy gaingc o hono, a chnap dan ddwy gaingc o hono, a chnap dan ddwy gaingc o hono, yn ol y chwe chaingc a ddeuant o'r canhwyllbren.

36 Eu cnapiau a'u ceingciau a fyddant o'r un: y cwbl *fydd* aur coeth o un cyfanwaith morthwyl.

37 A thi a wnai ei saith lusern ef, ac [s] a § oleui ei lusernau ef, fel [t] y goleuo efe ar gyfer ei wyneb.

[s] Pen. 27. 21. a 30. 8. Lef. 24. 3, 4.
§ Neu, *gyfodi.*
[t] Num. 8. 2.

38 A *bydded* ei efeiliau a'i gafnau o aur coeth.

39 O dalent o aur coeth y gwnai ef, a'r holl lestri hyn.

40 Ond [u] gwel wneuthur yn ol eu portreiad hwynt, a ddangoswyd it' yn y mynydd.

[u] Num. 8. 4. 1 Chron. 28. 11, 19. Act. 7. 44. Heb. 8. 5.

## PEN. XXVI.

1 *Deg llenn y tabernacl.* 7 *Yr un llenn ar ddeg o flew geifr.* 14 *Y babell-lenn o grwyn hyrddod.* 15 *Byrddau'r tabernacl, gyd â'u morteisiau a'u barrau.* 31 *Y wahanlen i'r arch.* 36 *Y gaeadlen i'r drws.*

1491.

[a] Y Tabernacl hefyd a wnai di o ddeg llenn o liain main cyfrodedd, ac o *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad: yn gerubiaid o † gywreinwaith y gwnai hwynt.

[a] Pen. 36. 8.
† Heb. *waith y cywraint.*

2 Hŷd un llenn *fydd* wyth gufydd ar hugain, a lled un llenn *fydd* pedwar cufydd: yr un mesur a fydd i 'r holl lenni.

3 Pum llenn a fyddant ynglŷn bob un wrth eu gilydd; a phum llenn *eraill* a fyddant ynglŷn wrth eu gilydd.

4 A gwna ddolennau o *sidan* glas ar ymyl un llenn, ar y cwrr, yn y cydiad; ac felly y gwnai ar ymyl eithaf llenn arall, yn yr ail gydiad.

5 Deg dolen a deugain a wnai di i un llenn, a deg dolen a deugain a wnai ar gwrr y llenn *a fyddo* yn yr ail gydiad: y dolennau a dderbyniant bob un eu gilydd.

6 Gwna hefyd ddeg bâch a deugain o aur, a chydia â'r bachau y llenni bob un wrth eu gilydd; fel y byddo yn un tabernacl.

7 ¶ A [b] Gwna lenni o *flew* geifr, *i fod* yn babell-lenn ar y tabernacl: un llenn ar ddeg a wnai.

[b] Pen. 36. 14.

8 Hŷd un llenn *fydd* deg cufydd ar hugain, a lled un llenn *fydd* pedwar cufydd; a'r un mesur *fydd* i 'r un llenn ar ddeg.

9 A chydia bùm llenn wrthynt eu hun, a chwe llenn wrthynt eu hun; a dybla'r chweched lenn ar gyfer wyneb y babell-lenn.

10 A gwna ddeg dolen a deugain ar ymyl y naill lenn, ar y cwrr, yn y cydiad *cyntaf*; a deg dolen a deugain ar ymyl y llenn *arall*, yn yr ail gydiad.

11 A gwna ddeg bâch a deugain o bres; a dod y bachau yn y dolennau, a chylymma'r babell-lenn, fel y byddo yn un.

12 A'r gweddill a fyddo dros ben o lenni y babell-lenn, *sef* yr hanner llenn weddill, a fydd yngweddill ar du cefn y tabernacl;

13 Fel *y byddo* o'r gweddill gufydd o'r naill du, a chufydd o'r tu arall, o hŷd y babell-lenn: bydded hynny dros ddau ystlys y tabernacl, o'r tu yma ac o'r tu accw, i'w orchuddio.

14 A [c] gwna dô i 'r babell-lenn o grwyn hyrddod wedi eu lliwo yn gochion, a thô o grwyn daearfoch yn uchaf.

[c] Pen. 36. 19.

15 ¶ A gwna i'r tabernacl ystyllod o goed Sittim, yn eu sefyll.

16 Deg cufydd fydd hŷd ystyllen, a chufydd a hanner cufydd fydd lled pob ystyllen.

17 *Bydded* ‡ dau dyno i un bwrdd, wedi eu gosod mewn trefn, bob un ar gyfer eu gilydd: felly y gwnai am holl fyrddau 'r tabernacl.

‡ Heb. *dwy law.*

18 A gwna ystyllod i 'r tabernacl, ugain ystyllen o'r tu dehau, tu a'r dehau.

19 A gwna ddeugain mortais arian dan yr ugain ystyllen; dwy fortais dan un ystyllen i'w dau dyno, a dwy fortais dan ystyllen arall i 'w dau dyno.

20 A *gwna* i ail ystlys y tabernacl, o du'r gogledd, ugain ystyllen,

21 A deugain mortais o arian; dwy fortais dan un ystyllen, a dwy fortais dan ystyllen arall.

22 Hefyd i ystlys y tabernacl, o du 'r gorllewin, y gwnai chwech ystyllen.

23 A dwy 'styllen a wnai i gonglau'r tabernacl, yn y ddau ystlys.

24 A byddant wedi eu § cyssylltu oddi tanodd; byddant hefyd wedi eu cyd-gydio oddi arnodd wrth un fodrwy: felly y bydd iddynt ill dau; i 'r ddwy gongl y byddant.

§ *cydblethu.*

25 A byddant yn wyth ystyllen, a'u mor-

teisiau arian yn un fortais ar bymtheg; dwy
fortais dan un ystyllen, a dwy fortais dan
ystyllen arall.
26 ¶ Gwna hefyd farrau o goed Sittim,
pump i ystyllod un ystlys i'r tabernacl,
27 A phum barr i ystyllod ail ystlys y ta-
bernacl, a phum barr i ystyllod ystlys y
tabernacl i'r ddau ystlys tu a'r gorllewin.
28 A'r barr canol ynghanol yr ystyllod, a
gyrraedd o gwrr i gwrr.
29 Gosod hefyd aur dros yr ystyllod, a
gwna eu modrwyau o aur, i osod y barrau
trwyddynt: gwisg y barrau hefyd ag aur.
d Pen. 25. 30 A chyfod y tabernacl [d] wrth ei bor-
9. 40. treiad, yr hwn a ddangoswyd it' yn y my-
Act. 7. 44. Heb. 8. 5. nydd.
e Pen. 36. 31 ¶ A [e] gwna [f] wahanlen o *sidan* glas,
35. porphor, a 'sgarlad, ac o lïain main cyf-
f 2 Chron. rodedd: â cherubiaid o waith cywraint y
3. 14. Mat. 27. 51. gwnai hi.
Heb. 9. 3. 32 A dod hi ar bedair colofn o *goed* Sit-
tim wedi eu gwisgo ag aur; a'u pennau o
aur, ar bedair mortais arian.
33 ¶ A dod y wahanlen wrth y bachau,
fel y gellych ddwyn yno, o fewn y wahan-
len, arch y dystiolaeth: a'r wahanlen a wna
g Heb. 9. wahan i chwi rhwng [g] y cyssegr a'r cyssegr
2, 3. sancteiddiolaf.
34 Dod hefyd y drugareddfa ac arch y
dystiolaeth yn y cyssegr sancteiddiolaf.
h Heb. 9. 2. 35 A [h] gosod y bwrdd o'r tu allan i'r
wahanlen, a'r canhwyllbren gyferbyn â'r
bwrdd ar y tu dehau i'r tabernacl: a dod y
bwrdd ar du 'r gogledd.
i Pen. 36. 36 A [i] gwna gaeadlen i ddrws y babell
37. o *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad, ac o
lïain main cyfrodedd o wnïadwaith.
37 A gwna i'r gaeadlen bùm colofn *o*
k Pen. 36. *goed* Sittim, a [k] gwisg hwynt ag aur; a'u
38. pennau fydd o aur: a bwrw iddynt bùm
mortais bres.

## PEN. XXVII.

1 *Allor y poeth-offrwm, a'i llestri.* 9 *Cyn-
teddfa 'r tabernacl wedi ei gau â llenni ac
â cholofnau.* 18 *Mesur y cynteddfa.* 20
*Yr olew i'r lamp.*

1491. GWNA hefyd [a] allor o goed Sittim, o
a Pen. 38. bùm cufydd o hŷd, a phum cufydd o
1. led: yn † bedairongl y bydd yr allor, a'i
† *bedwar sgwar.* huchder o dri chufydd.
b Edrych 2 A gwna ei chyrn ar ei phedair congl:
Num. 16. o'r un y bydd ei chyrn: a [b] gwisg hi â phres.
38. 3 Gwna hefyd iddi bedyll i dderbyn ei
lludw, a'i rhawiau, a'i chawgiau, a'i chig-
weiniau, a'i phedyll tân: ei holl lestri a
wnai o bres.
4 A gwna iddi alch o bres, ar waith
rhwyd; a gwna ar y rhwyd bedair modrwy
o bres ar ei phedair congl.
5 A dod hi dan amgylchiad yr allor oddi
tanodd, fel y byddo 'r rhwyd hyd hanner
yr allor.
6 A gwna drosolion i'r allor, *sef* trosolion
o goed Sittim; a gwisg hwynt â phres.
7 A dod ei throsolion trwy 'r modrwyau;
a bydded y trosolion ar ddau ystlys yr allor,
i'w dwyn hi.
c Pen. 25. 8 Gwna hi ag ystyllod yn gau: fel [c] y
40. a 26. 30. ‡ dangoswyd i ti yn y mynydd, felly y
‡ Heb. *dangosodd* gwnant hi.
d Pen. 38. 9 ¶ A [d] gwna gynteddfa'r tabernacl ar
9. y tu dehau, tu a'r dehau: llenni 'r cynteddfa
a fyddant lïain main cyfrodedd, o gan cufydd
o hŷd, i un ystlys.
10 A'i hugain colofn, a'u hugain mortais,
*fydd* o bres: pennau 'r colofnau, a'u cylchau,
*fydd* o arian.
11 Felly o du 'r gogledd ar hŷd, y bydd
llenni, o gan *cufydd* o hŷd, a'u hugain co-
lofn, a'u hugain mortais, o bres; a phen-
nau 'r colofnau, a'u cylchau, o arian.
12 ¶ Ac i led y cynteddfa, o du 'r gor-
llewin, *y bydd* llenni o ddeg cufydd a deu-
gain: eu colofnau *fyddant* ddeg, a'u mor-
teisiau yn ddeg.
13 A lled y cynteddfa, tu a'r dwyrian, o
godiad haul, *a fydd* ddeg cufydd a deugain.
14 Y llenni o'r *naill* du *a fyddant* bym-
theg cufydd; eu colofnau yn dair, a'u mor-
teisiau yn dair.
15 Ac i'r ail du *y bydd* pymtheg llenn;
eu tair colofn, a'u tair mortais.
16 ¶ Ac i borth y cynteddfa *y gwnair*
caeadlen o ugain cufydd, o *sidan* glas, por-
phor, ac ysgarlad, ac o lïain main cyf-
rodedd o wnïadwaith; eu pedair colofn, a'u
pedair mortais.
17 Holl golofnau 'r cynteddfa o amgylch
a gylchir ag arian; a'u pennau yn arian,
a'u morteisiau yn bres.
18 ¶ Hŷd y cynteddfa *fydd* gan cufydd,
a'i led yn ddeg a deugain o bob tu; a phum
cufydd o uchder o lïain main cyfrodedd,
a'u morteisiau o bres.
19 Holl lestri 'r tabernacl yn eu holl wa-
sanaeth, a'i holl hoelion hefyd, a holl hoel-
ion y cynteddfa, fyddant o bres.
20 ¶ A [e] gorchymyn dithau i feibion e Lef. 24.
Israel, ddwyn o honynt attat bur olew 'r 2.
olewŷdden coethedig, yn oleuni, i beri i'r
lamp § losgi yn wastad. § Heb. *ddyrchafu.*
21 Ym mhabell y cyfarfod, [f] o'r tu allan f Pen. 26.
i'r wahanlen, yr hon *fydd* o flaen y dystio- 31, 33.
laeth, y trefna [g] Aaron a'i feibion hwn- g Pen. 30.
nw, o'r hwyr hyd y bore, ger bron yr Ar- 8.
GLWYDD: deddf dragywyddol fydd, trwy 1 Sam. 3. 3. 2 Chron.
eu hoesoedd, gan feibion Israel. 13. 11.

## PEN. XXVIII.

1 *Neillduo Aaron a'i feibion i swydd yr offeiri-
aid.* 2 *Gorchymyn gwisgoedd sanctaidd.*
6 *Yr ephod.* 15 *Y ddwyfronneg a'r deuddeg
maen gwerthfawr.* 30 *Yr Urim a'r Thum-
mim.* 31 *Mantell yr ephod, gyd â'i phom-
granadau a'i chlych.* 36 *Dalen y meitr.*
39 *Y bais wnïadwaith.* 40 *Gwisgoedd
meibion Aaron.*

A Chymmer [a] Aaron dy frawd attat, a'i 1491.
feibion gyd ag ef, o blith meibion Israel, a Heb. 5.
i offeiriadu i mi; *sef* Aaron, Nadab ac 1, 4.
Abihu, Eleazar ac Ithamar, meibion Aaron.
2 [b] Gwna hefyd wisgoedd sanctaidd i b Pen. 39.
Aaron dy frawd, er gogoniant a hardd- 2.
wch.
3 A [c] dywed wrth yr holl rai doeth o c Pen. 36. 1.
galon, [d] y rhai a lenwais i ag yspryd doeth- d Pen. 31.
ineb, am wneuthur o honynt ddillad Aaron 3. a 35. 30.
i'w sancteiddo ef, i offeiriadu i mi.
4 A dyma 'r gwisgoedd a wnant.
Dwyfronneg, ac ephod, mantell hefyd, a
phais o waith edau a nodwydd, meitr, a
gwregys: felly y gwnant wisgoedd sanctaidd
i Aaron dy frawd, ac i'w feibion, i offeiriadu
i mi.
5 Cymmerant gan hynny aur, a *sidan*
glas, a phorphor, ac ysgarlad, a lliain
main.
6 ¶ A gwnant yr ephod o aur, *sidan*
glas, a phorphor, ac ysgarlad, a lliain main
cyfrodedd, o waith cywraint.
7 Dwy ysgwydd fydd iddi wedi eu cydio

wrth ei ddau gwrr; ac felly y cydir hi ynghŷd.

8 A gwregys cywraint ei ephod ef yr hwn fydd arni, fydd o'r un, yn unwaith â hi; o aur, *sidan* glas, a phorphor, ysgarlad hefyd, a llïain main cyfrodedd.

9 Cymmer hefyd ddau faen onix, a nadd ynddynt enwau meibion Israel:

10 Chwech o'u henwau ar un maen, a'r chwe henw arall ar yr ail maen, yn ol eu genedigaeth.

e Doeth. 18. 24.

11 e A gwaith naddwr mewn maen, fel naddiadau sel, y neddi di'r ddau faen, ag enwau meibion Israel: gwna hwynt â boglynau o aur o'u hamgylch.

12 A gosod y ddau faen ar ysgwyddau'r ephod, yn feini coffadwriaeth i feibion Israel. Ac Aaron a ddwg eu henwau hwynt ger bron yr ARGLWYDD ar ei ddwy ysgwydd, yn goffadwriaeth.

13 ¶ Gwna hefyd foglynau aur;

14 A dwy gadwyn o aur coeth yn eu pennau: o blethwaith y gwnai hwynt; a dod y cadwynau plethedig ynglŷn wrth y boglynau.

f Pen. 39. 8.

15 ¶ f Gwna hefyd ddwyfronneg barnedigaeth, o waith cywraint; ar waith yr ephod y gwnai hi: o aur, *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad, a llïain main cyfrodedd, y gwnai hi.

16 Pedairongl fydd hi *yn* ddau ddyblyg; yn rhychwant ei hŷd, ac yn rhychwant ei lled.

† Neu, *rubi.*

17 Llanw hi yn llawn o feini, *sef* pedair rhes o feini: un rhes fydd † sardius, a thophas, a smaragdus: hyn fydd y rhes gyntaf.

18 A'r ail res *fydd* carbuncl, saphir, ac adamant.

19 A'r drydedd res *fydd* lygur, ac acat, ac amethyst.

20 Y bedwaredd res *fydd* beryl, ac onix, a jaspis: byddant wedi eu gosod mewn aur yn eu lleoedd.

21 A'r meini fyddant ag enwau meibion Israel, yn ddeuddeg, yn ol eu henwau hwynt; o naddiad sel, bob un wrth ei enw y byddant, yn ol y deuddeg llwyth.

22 ¶ A gwna ar y ddwyfronneg gadwynau ar y cyrrau, yn blethwaith, o aur coeth.

23 Gwna hefyd ar y ddwyfronneg ddwy fodrwy o aur, a dod y ddwy fodrwy wrth ddau gwrr y ddwyfronneg.

24 A dod y ddwy gadwyn blethedig o aur trwy'r ddwy fodrwy ar gyrrau'r ddwyfronneg.

25 A'r ddau ben arall i'r ddwy gadwyn blethedig dod ynglŷn wrth y ddau foglyn, a dod ar ysgwyddau'r ephod o'r tu blaen.

26 ¶ Gwna hefyd ddwy fodrwy o aur, a gosod hwynt ar ddau ben y ddwyfronneg, ar yr ymyl *sydd* ar ystlys yr ephod o'r tu mewn.

27 A gwna ddwy fodrwy o aur, a dod hwynt ar ddau ystlys yr ephod oddi tanodd, tu a'i thu blaen, ar gyfer ei chydiad, oddi ar wregys yr ephod.

28 A'r ddwyfronneg a rwymant â'u modrwyau wrth fodrwyau'r ephod â llinyn o *sidan* glas, fel y byddo oddi ar wregys yr ephod, fel na ddattoder y ddwyfronneg oddi wrth yr ephod.

29 A dyged Aaron, yn nwyfronneg y farnedigaeth, enwau meibion Israel ar ei galon, pan ddelo i'r cyssegr, yn goffadwriaeth ger bron yr ARGLWYDD yn wastadol.

g Lef. 8. 8. Deut. 33. 8. 1 Sam. 28. 6. Ezra 2. 63. Neh. 7. 65.

30 ¶ A g dod ar ddwyfronneg y farnedigaeth, yr Urim a'r Thummim: a byddant ar galon Aaron pan elo i mewn ger bron yr ARGLWYDD: ac Aaron a ddwg farnedigaeth meibion Israel ar ei galon, ger bron yr ARGLWYDD, yn wastadol.

h Pen. 39. 22.

31 ¶ h Gwna hefyd fantell yr ephod oll o *sidan* glas.

32 A bydd twll yn ei phen uchaf hi, ar ei chanol: gwrym o waith gwehydd o amgylch y twll, megis twll llurig, fydd iddi, rhag rhwygo.

33 ¶ A gwna ar ei godrau hi bomgranadau o *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad, ar ei godrau o amgylch; a chlych o aur rhyngddynt o amgylch.

34 Cloch aur a phomgranad, *a* chloch aur a phomgranad, ar odrau'r fantell o amgylch.

i Eccl. 45. 9.

35 i A hi a fydd am Aaron wrth weini: a cheir clywed ei swn ef pan ddelo i'r cyssegr, ger bron yr ARGLWYDD, a phan elo allan; fel na byddo farw.

k Pen. 39. 30.

36 ¶ k Gwna hefyd ddalen o aur coeth; a nadd arni, fel naddiadau sel, SANCTEIDDRWYDD I'R ARGLWYDD.

37 A gosod hi wrth linyn o *sidan* glas, a bydded ar y meitr: o'r tu blaen i'r meitr y bydd.

38 A hi a fydd ar dalcen Aaron, fel y dygo Aaron anwiredd y pethau sanctaidd a gyssegro meibion Israel yn eu holl roddion sanctaidd: ac yn wastad y bydd ar ei dalcen ef, fel y byddo iddynt ffafr ger bron yr ARGLWYDD.

39 ¶ Gweithia ag edau a nodwydd y bais o lïain main; a gwna feitr o lïain main; a'r gwregys a wnai o wnïadwaith.

40 ¶ I feibion Aaron hefyd y gwnai beisiau, a gwna iddynt wregysau; gwna hefyd iddynt gapiau, er gogoniant a harddwch.

l Pen. 29. 7. a 30. 30. ‡ Heb. *llanw eu llaw.*

41 A gwisg hwynt am Aaron dy frawd, a'i feibion gyd ag ef: ac l enneinia hwynt, ‡ cyssegra hwynt hefyd, a sancteiddia hwynt, i offeiriadu i mi.

§ *cyrhaeddant.*

42 Gwna hefyd iddynt lodrau llïain i guddio eu cnawd noeth: o'r lwynau hyd y morddwydydd y § byddant.

43 A byddant am Aaron, ac am ei feibion, pan ddelont i mewn i babell y cyfarfod, neu pan ddelont yn agos at yr allor i weini yn y cyssegr; fel na ddygont anwiredd, a marw. *Hyn fydd* deddf dragywyddol iddo ef, ac i'w had ar ei ol.

## PEN. XXIX.

1 *Yr aberth a'r seremoniau a arferid wrth gyssegru 'r offeiriaid.* 38 *Y llosg-offrwm gwastadol.* 45 *Addewid Duw ar drigo ym mhlith plant Israel.*

DYMA hefyd yr hyn a wnai di iddynt i'w cyssegru hwynt, i offeiriadu i mi. 1491.

a Lef. 8. 2.

a Cymmer un bustach ieuangc, a dau hwrdd perffeith-gwbl,

b Lef. 6. 20.

2 A b bara croyw, a theisenau croyw wedi eu cymmysgu ag olew, ac afrlladd croyw wedi eu hiro ag olew: o beilliaid gwenith y gwnai hwynt.

3 A dod hwynt mewn un cawell, a dwg hwynt yn y cawell, gyd â'r bustach a'r ddau hwrdd.

4 Dwg hefyd Aaron a'i feibion i ddrws pabell y cyfarfod, a golch hwynt â dwfr.

5 A chymmer y gwisgoedd, a gwisg am

Aaron y bais, a mantell yr ephod, a'r ephod hefyd, a'r ddwyfronneg; a gwregysa *ef* [c] â gwregys yr ephod.

c Pen. 28. 8.

6 A gosod y meitr ar ei ben ef, a dod y goron gyssegredig ar y meitr.

7 Yna y cymmeri [d] olew yr enneiniad, ac y tywellti ar ei ben ef, ac yr enneini ef.

d Pen. 30. 25.

8 A dwg ei feibion ef, a gwisg beisiau am danynt.

9 A gwregysa hwynt â gwregysau, *sef* Aaron a'i feibion, a † gwisg hwynt â chapiau: a bydd yr offeiriadaeth iddynt yn ddeddf dragywyddol: a thi [e] a ‡ gyssegri Aaron a'i feibion.

† Heb. *rhwym.*
e Pen. 28. 41.
‡ Heb. *lenwi law.*

10 A phar ddwyn y bustach ger bron pabell y cyfarfod; a [f] rhodded Aaron a'i feibion eu dwylaw ar ben y bustach.

f Lef. 1. 4.

11 A lladd y bustach ger bron yr Arglwydd, *wrth* ddrws pabell y cyfarfod.

12 A chymmer o waed y bustach, a dod ar [g] gyrn yr allor â'th fys; a thywallt yr holl waed *arall* wrth droed yr allor.

g Pen. 27. 2. a 30. 2.

13 [h] Cymmer hefyd yr holl frasder a fydd yn gorchuddio 'r perfedd, a'r § rhwyden *a fyddo* ar yr afu, a'r ddwy aren, a'r brasder *a fyddo* arnynt; a llosg ar yr allor.

h Lef. 3. 3.
§ *y lliein-gig yw,* medd y dysgawdwyr Hebreaidd.

14 Ond [i] cig y bustach, a'i groen, a'i fiswail, a losgi mewn tân, o'r tu allan i'r gwersyll: aberth dros bechod *yw.*

i Lef. 4. 11, 21. Heb. 13. 11.

15 ¶ Cymmer hefyd un hwrdd; a gosoded Aaron a'i feibion eu dwylaw ar ben yr hwrdd.

16 A lladd yr hwrdd; a chymmer ei waed ef, a thaenella ar yr allor o amgylch.

17 A thorr yr hwrdd yn ddarnau; a golch ei berfedd, a'i draed, a dod hwynt ynghŷd â'i ddarnau, ac ‖ â'i ben.

‖ Neu, *ar ei.*

18 A llosg yr hwrdd i gŷd ar yr allor: poeth-offrwm i'r Arglwydd *yw:* arogl peraidd, aberth tanllyd i'r Arglwydd *yw.*

19 ¶ A chymmer yr ail hwrdd; a rhodded Aaron a'i feibion eu dwylaw ar ben yr hwrdd.

20 Yna lladd yr hwrdd, a chymmer o'i waed, a dod ar gwrr isaf clust ddehau Aaron, ac ar gwrr isaf clust ddehau ei feibion, ac ar fawd eu llaw ddehau hwynt, ac ar fawd eu troed dehau hwynt; a thaenella 'r gwaed *arall* ar yr allor o amgylch.

21 A chymmer o'r gwaed a fyddo ar yr allor, ac o [k] olew 'r enneiniad, a thaenella ar Aaron, ac ar ei wisgoedd, ar ei feibion hefyd, ac ar wisgoedd ei feibion gyd ag ef: felly [l] sanctaidd fydd efe a'i wisgoedd, ei feibion hefyd, a gwisgoedd ei feibion gyd ag ef.

k Pen. 30. 25.
l Heb. 9. 22.

22 Cymmer hefyd o'r hwrdd, y gwer a'r gloren, a'r gwer sydd yn gorchuddio'r perfedd, a rhwyden yr afu, a'r ddwy aren, a'r gwer *sydd* arnynt, a'r ysgwyddog ddehau; canys hwrdd cyssegriad *yw:*

23 Ac un dorth o fara, ac un deisen o fara olewedig, ac un afrlladen o gawell y bara croyw, yr hwn *sydd* ger bron yr Arglwydd.

24 A dod y cwbl yn nwylaw Aaron, ac yn nwylaw ei feibion; † a chyhwfana hwynt yn offrwm ‡ cyhwfan ger bron yr Arglwydd.

† Neu, *ac ysgwyd.*
‡ Neu, *ysgydwad.*

25 A chymmer hwynt o'u dwylaw, a llosg ar yr allor yn boeth-offrwm, yn arogl peraidd ger bron yr Arglwydd: aberth tanllyd i'r Arglwydd *yw.*

26 Cymmer hefyd [m] barwyden hwrdd y cyssegriad yr hwn *fyddo* dros Aaron, a chyhwfana hi yn offrwm cyhwfan ger bron yr Arglwydd; a'th ran di fydd.

m Lef. 8. 29.

27 A sancteiddia [n] barwyden yr offrwm cyhwfan, ac ysgwyddog yr offrwm dyrchafael, yr hon a gyhwfanwyd, a'r hon a ddyrchafwyd, o hwrdd y cyssegriad, o'r hwn *a fyddo* dros Aaron, ac o'r hwn *a fyddo* dros ei feibion.

n Lef. 7. 34. Num. 18. 18. Deut. 18. 3.

28 Ac eiddo Aaron a'i feibion fydd trwy ddeddf dragywyddol oddi wrth feibion Israel: canys offrwm dyrchafael *yw;* ac [o] offrwm dyrchafael a fydd oddi wrth feibion Israel o'u haberthau hedd, *sef* eu hoffrwm dyrchafael i'r Arglwydd.

o Lef. 7. 34.

29 ¶ A dillad sanctaidd Aaron a fyddant i'w feibion ar ei ol ef, i'w henneinio ynddynt, ac i'w cyssegru ynddynt.

30 [p] Yr hwn o'i feibion ef a fyddo offeiriad yn ei le ef, a'u gwisg hwynt saith niwrnod, pan ddelo i babell y cyfarfod i weini yn y cyssegr.

p Num. 20. 28.

31 ¶ A chymmer hwrdd y cyssegriad, a berw ei gig yn y lle sanctaidd.

32 A bwyttaed Aaron a'i feibion gig yr hwrdd, [q] a'r bara yr hwn *fydd* yn y cawell, *wrth* ddrws pabell y cyfarfod.

q Lef. 8. 31. Mat. 12. 4.

33 A hwy a fwyttânt y pethau hyn y gwnaed y cymmod â hwynt, i'w cyssegru hwynt ac i'w sancteiddio: ond y dïeithr ni chaiff eu bwytta; canys cyssegredig ydynt.

34 Ac o's gweddillir o gig y cyssegriad, neu o'r bara, hyd y bore; yna ti a losgi 'r gweddill â thân: ni chair ei fwytta, oblegid cyssegredig *yw.*

35 A gwna fel hyn i Aaron, ac i'w feibion, yn ol yr hyn oll a orchymynais it': saith niwrnod y cyssegri hwynt.

36 A phob dydd yr aberthi fustach yn aberth dros bechod, er cymmod: a glanhâ'r allor, wedi it' wneuthur cymmod drosti, ac enneinia hi, i'w chyssegru.

37 Saith niwrnod y gwnai gymmod dros yr allor, ac y sancteiddi hi: felly [r] yr allor fydd sanctaidd: [s] pob peth a gyffyrddo â'r allor, a sancteiddir.

r Pen. 40. 10.
s Pen. 30. 29. Mat. 23. 19.

38 ¶ A dyma yr hyn a offrymmi ar yr allor. [t] Dau oen flwyddiaid, [u] bob dydd yn wastadol.

t Num. 28. 3.
u Edrych Dan. 9. 27. a 12. 11.

39 Yr oen cyntaf a offrymmi di y bore; a'r ail oen a offrymmi di yn y cyfnos.

40 A chyd â'r naill oen ddegfed ran o beilliaid wedi ei gymmysgu â phedwaredd ran hin o olew coethedig; a phedwaredd ran hin o win, yn ddïod-offrwm.

41 A'r oen arall a offrymmi di yn y cyfnos ac a wnai iddo yr un modd ag i fwyd-offrwm y bore, ac i'w ddïod-offrwm, i fod yn arogl peraidd, yn aberth tanllyd i'r Arglwydd:

42 Yn boeth-offrwm gwastadol trwy eich oesoedd, *wrth* ddrws pabell y cyfarfod, ger bron yr Arglwydd; [x] lle y cyfarfyddaf â chwi, i lefaru wrthyt yno.

x Pen. 30. 36.

43 Ac yn y lle hwnnw y cyfarfyddaf â meibion Israel; ac *efe* a sancteiddir trwy fy ngogoniant.

44 A mi a sancteiddiaf babell y cyfarfod a'r allor; ac Aaron a'i feibion a sancteiddiaf, i offeiriadu i mi.

45 ¶ A [y] mi a breswyliaf ym mysg meibion Israel, ac a fyddaf yn Dduw iddynt.

y Pen. 25. 8. Lef. 26. 12. Zec. 2. 10. 2 Cor. 6. 16.

46 A hwy a gânt wybod mai myfi *yw* 'r Arglwydd eu Duw, yr hwn a'u dygais hwynt allan o dir yr Aipht, fel y trigwn yn eu plith hwynt: myfi *yw* yr Arglwydd eu Duw.

Dat. 21. 3.

PEN. XXX.

1 *Allor yr arogl-darth.* 11 *Y' iawn dros bob
enaid.* 17 *Y golch-lestr pres.* 22 *Yr olew
sanctaidd i enneinio.* 34 *Defnydd yr arogl-
darth.*

1491. GWNA hefyd [a] allor [b] i arogl-darthu
[a] Pen. 37. 25. arogl-darth: o goed Sittim y gwnai
di hi.
[b] Edrych ad. 10. 2 Yn gufydd ei hŷd, ac yn gufydd ei lled,
Lef. 4. 7, 18. (pedairongl fydd hi) ac yn ddau gufydd ei
uchder: ei chyrn *fyddant* o'r un.
† Heb. *ei mur a'i pharwydydd.* 3 A gwisg hi ag aur coeth, † ei chefn a'i
hystlysau o amgylch, a'i chyrn: a gwna he-
fyd iddi goron o aur o amgylch.
4 A gwna iddi ddwy fodrwy aur oddi tan
‡ Heb. *asen.* ei choron, wrth ei dwy ‡ gongl: ar ei dau
ystlys y gwnai *hwynt*; fel y byddant i wisgo
am drosolion, i'w dwyn hi arnynt.
5 A'r trosolion a wnai di o goed Sittim:
a gwisg hwynt ag aur.
6 A gosod hi o flaen y wahanlen *sydd*
wrth arch y dystiolaeth; o flaen y druga-
reddfa *sydd* ar y dystiolaeth, lle y cyfarfydd-
daf â thi.
7 Ac arogl-darthed Aaron arni arogl-darth
[c] Pen. 27. 20. llysieuog bob bore: pan [c] daclo efe 'r lamp-
au, yr arogl-dartha efe.
§ gyfodo. 8 A phan § oleuo Aaron y lampau || yn y
|| Heb. *rhwng y ddau hwyr.* cyfnos, arogl-darthed arni arogl-darth gwa-
stadol ger bron yr ARGLWYDD, trwy eich
cenhedlaethau.
9 Nac offrymmwch arni arogl-darth di-
eithr, na phoeth-offrwm, na bwyd-offrwm;
ac na thywelltwch ddïod-offrwm arni.
[d] Lef. 16. 14. a 23. 27. 10 A gwnaed [d] Aaron gymmod ar ei
chyrn hi unwaith yn y flwyddyn, â gwaed
pech-aberth y cymmod: unwaith yn y
flwyddyn y gwna efe gymmod arni trwy
eich cenhedlaethau: sancteiddiolaf i'r AR-
GLWYDD *yw* hi.
11 ¶ A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth
Moses, gan ddywedyd,
[e] Pen. 38. 25. 12 [e] Pan rifech feibion Israel, † dan eu
Num. 1. 2, 5. a 26. 2. rhifedi; yna rhoddant bob un iawn am ei
einioes i'r ARGLWYDD, pan rifer hwynt:
† Heb. *y rhai sy i'w rhifo.* fel na byddo pla yn eu plith, pan rifer
hwynt.
[f] Mat. 17. 24. 13 Hyn a ddyry pob un a elo dan rif.
[f] Hanner sicl, yn ol sicl y cyssegr: [g] ugain
[g] Lef. 27. 25. gerah *yw* y sicl: hanner sicl *fydd* yn offrwm
Num. 3. 47. i'r ARGLWYDD.
Ezec. 45. 12. 14 Pob un a elo dan rif, o fab ugein-
mlwydd ac uchod, a rydd offrwm i'r AR-
‡ Heb. *Ni chwanega.* GLWYDD.
15 ‡ Ni rydd y cyfoethog fwy, ac ni
§ Heb. *leiha.* § rydd y tlawd lai, nâ hanner sicl, wrth
roddi offrwm i'r ARGLWYDD, i wneuthur
cymmod dros eich eneidiau.
[h] Pen. 38. 25. 16 A chymmer yr arian cymmod gan
feibion Israel, a [h] dod hwynt i wasanaeth
pabell y cyfarfod; fel y byddant yn go-
ffadwriaeth i feibion Israel ger bron yr
ARGLWYDD, i wneuthur cymmod dros eich
eneidiau.
17 ¶ A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth
Moses, gan ddywedyd,
[i] Pen. 38. 8. 18 [i] Gwna noe bres, a'i throed o bres, i
ymolchi: a dod hi rhwng pabell y cyfarfod
a'r allor; a dod ynddi ddwfr.
[k] Psal. 26. 6. 19 A [k] golched Aaron a'i feibion o honi
Esay 52. 11. eu dwylaw a'u traed.
Heb. 10. 22. 20 Pan ddelont i babell y cyfarfod, ym-
olchant â dwfr, fel na byddont feirw; neu
pan ddelont wrth yr allor i weini, gan arogl-
darthu aberth tanllyd i'r ARGLWYDD.

21 Golchant eu dwylaw a'u traed, fel na
byddont feirw: a bydded *hyn* iddynt yn
ddeddf dragywyddol, iddo ef, ac i'w had,
trwy eu cenhedlaethau.
22 ¶ Yr ARGLWYDD hefyd a lefarodd
wrth Moses, gan ddywedyd,
23 Cymmer it' ddewis lysiau o'r myrr
pur, *bwys* pum can *sicl*, a hanner hynny o'r
sinamon peraidd, *sef pwys* deucant a deg a
deugain *o siclau*, ac o'r calamus peraidd
*pwys* deucant a deg a deugain *o siclau*;
24 Ac o'r casia *pwys* pum cant *o siclau*, yn
ol sicl y cyssegr; a [l] hin o olew olewydden. [l] Pen. 29. 40.
25 A gwna ef yn olew enneiniad sanc-
taidd, yn ennaint cymmysgadwy o waith
yr || apothecari: olew enneiniad sanctaidd || *per-arogl-wr.*
fydd efe.
26 Ac enneinia ag ef babell y cyfarfod,
ac arch y dystiolaeth,
27 Y bwrdd hefyd a'i holl lestri, a'r can-
hwyllbren a'i holl lestri, ac allor yr arogl-
darth,
28 Ac allor y poeth-offrwm a'i holl lestri,
a'r noe a'i throed.
29 A chyssegra hwynt, fel y byddant yn
sancteiddiolaf: [m] pob peth a gyffyrddo â [m] Pen. 29. 37.
hwynt, a fydd sanctaidd.
30 Enneinia hefyd Aaron a'i feibion, a
chyssegra hwynt, i offeiriadu i mi.
31 A llefara wrth feibion Israel gan ddy-
wedyd, Olew enneiniad sanctaidd a fydd
hwn i mi, trwy eich cenhedlaethau.
32 Nac enneinier ag ef gnawd dyn, ac ar
ei waith ef na wnewch ei fath: sanctaidd
*yw*, bydded sanctaidd gennych.
33 Pwy bynnag a gymmysgo ei fath, a'r
hwn a roddo o hono ef ar *ddyn* dïeithr, [n] a [n] Gen. 17. 14.
dorrir ymaith oddi wrth ei bobl.
34 ¶ Yr ARGLWYDD hefyd a ddywed-
odd wrth Moses, Cymmer it' lysiau peraidd,
*sef*, stacte, ac onycha, a galbanum; y llysiau
*hyn*, a thus pur; yr un faint o bob un.
35 A gwna ef yn arogl-darth arogl-bêr o
waith yr apothecari, wedi ei † gyd-dym- † Heb. *halltu.*
heru, yn bur ac yn sanctaidd.
36 Gan guro cur yn fân beth o hono, a
dod o hono ef ger bron y dystiolaeth o fewn
pabell y cyfarfod, [o] lle y cyfarfyddaf â thi: [o] Pen. 29. 42.
sancteiddiolaf fydd efe i chwi. Lef. 16. 2.
37 A'r arogl-darth a wnelech, na wnewch
i chwi eich hunain ei fath ef: bydded gen-
nyt yn sanctaidd i'r ARGLWYDD.
38 Pwy bynnag a wnel ei fath ef, i arogli
o hono, a dorrir ymaith oddi wrth ei bobl.

PEN. XXXI.

1 *Galw Bezaleel ac Aholiab, a'u gwneuthur
yn gymmwys i waith y tabernacl.* 12 *Ail
orchymmyn cadw 'r Sabboth.* 18 *Moses yn
derbyn y ddwy lech.*

A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, 1491.
gan ddywedyd,
2 [a] Gwel, mi a elwais wrth *ei* enw ar Be- [a] Pen. 35. 30.
zaleel [b] fab Uri, fab Hur, o lwyth Judah;
3 Ac a'i [c] llenwais ef ag yspryd Duw, [b] 1 Chron. 2. 20.
mewn doethineb, ac mewn deall, ac mewn [c] 1 Bren. 7. 14.
gwybodaeth hefyd, ac ym mhob rhyw
waith,
4 I ddychymmygu cywreinrwydd, i weithio
mewn aur, ac mewn arian, ac mewn pres,
5 Ac mewn cyfarwyddyd i osod meini, ac
mewn saernïaeth pren, i weithio ym mhob
gwaith.
6 Ac wele, mi a roddais gyd ag ef Aholïab
fab Achisamach, o lwyth Dan: ac yngbalon
pob doeth o galon y rhoddais ddoethineb

i wneuthur yr hyn oll a orchymynais
wrthyt.
7 Pabell y cyfarfod, ac arch y dystiolaeth,
a'r drugareddfa yr hon *sydd* arni, a holl
† *ddodrefn.* † lestri 'r babell,
8 A'r bwrdd a'i lestri, a'r canhwyllbren
pur a'i holl lestri, ac allor yr arogl-darth,
9 Ac allor y poeth-offrwm a'i holl lestri,
a'r noe a'i throed,
d Pen. 39. 10 A d gwisgoedd y weinidogaeth, a'r
1, 41. Num. 4. 6, &c. gwisgoedd sanctaidd i Aaron yr offeiriad, a
gwisgoedd ei feibion ef, i offeiriadu *ynddynt*,
11 Ac olew 'r enneiniad, a'r arogl-darth
peraidd i'r cyssegr; a wnant yn ol yr hyn
oll a orchymynais wrthyt.
12 ¶ A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth Mo-
ses, gan ddywedyd,
13 Llefara hefyd wrth feibion Israel, gan
e Ezec. 20. ddywedyd, e Diau y cedwch fy Sabbothau:
12, 20. canys arwydd yw rhyngof fi a chwithau,
Lef. 19. 3, 30. a 26. 2. trwy eich cenhedlaethau; i wybod mai myfi
*yw* yr ARGLWYDD, *sydd* yn eich sanct-
eiddio.
f Pen. 20. 8. 14 Am hynny f cedwch y Sabboth; oble-
Deut. 5. 12. gid sanctaidd *yw* i chwi: llwyr-rodder i far-
Ezec. 20. 12. wolaeth yr hwn a'i halogo ef; o herwydd
g Num. 15. g pwy bynnag a wnelo waith arno, torrir
34. ymaith yr enaid hwnnw o blith ei bobl.
15 Chwe diwrnod y gwnair gwaith, ac ar
y seithfed dydd *y mae* Sabboth gorphwys-
‡ Heb. dra ‡ sanctaidd i'r ARGLWYDD: pwy byn-
*sancteidd-rwydd.* nag a wnelo waith y seithfed dydd, llwyr-
rodder ef i farwolaeth.
16 Am hynny cadwed meibion Israel y
Sabboth, gan gynnal Sabboth trwy eu cen-
hedlaethau, yn gyfammod tragywyddol.
17 Rhyngof fi a meibion Israel, y mae yn
h Gen. 1. arwydd tragywyddol, mai h mewn chwe
31. a 2. 2. diwrnod y gwnaeth yr ARGLWYDD y nef-
oedd a'r ddaear; ac *mai* ar y seithfed dydd
y peidiodd, ac y gorphwysodd efe.
18 ¶ Ac efe a roddodd i Moses, wedi
iddo orphen llefaru wrtho ym mynydd Si-
i Pen. 32. nai, i ddwy lech y dystiolaeth; *sef* llechau
16. Deut. 9. 10. o gerrig, wedi eu hysgrifenu â bys DUW.
2 Cor. 3. 3.

## PEN. XXXII.

Dydd Mawrth Pasg, P. Chwefr. 9. P.
1 *Y bobl, yn absen Moses, yn peri i Aaron*
*wneuthur llo: 7 a hynny yn digio Duw;*
*11 ac yntau, ar ymbil Moses, yn diddigio.*
*15 Moses yn dyfod i wared â'r llechau:*
*19 yn eu torri hwy: 20 yn difetha 'r llo.*
*22 Esgus Aaron drosto ei hun. 25 Moses*
*yn gorchymyn lladd y delw-addolwŷr, 30*
*ac yn gweddio dros y bobl.*

1419. PAN welodd y bobl fod Moses yn oedi
dyfod i wared o'r mynydd; yna yr ym-
gasglodd y bobl at Aaron, ac y dywedasant
a Act. 7. wrtho, a Cyfod, gwna i ni dduwiau i fyned
40. o'n blaen: canys y Moses hwn, y gwr a'n
dug ni i fynu o wlad yr Aipht, ni wyddom
beth *a ddaeth* o hono.
2 A dywedodd Aaron wrthynt, Tynnwch
y clust-dlysau aur *sydd* wrth glustiau eich
gwragedd, a'ch meibion, a'ch merched, a
dygwch attaf fi.
3 A'r holl bobl a dynnasant y clust-dlysau
aur *oedd* wrth eu clustiau, ac a'u dygasant
at Aaron.
b 1 Bren. 4 Ac b efe a'u cymmerodd o'u dwylaw, ac
12. 28. Psalm 106. a'i lluniodd â chŷn, ac a'i gwnaeth yn llo
19. tawdd: a hwy a ddywedasant, Dyma dy
dduwiau di, Israel, y rhai a'th ddug di i
fynu o wlad yr Aipht.
5 A phan ei gwelodd Aaron, efe a adei-
ladodd allor ger ei fron ef: ac Aaron a gy-
hoeddodd, ac a ddywedodd, *Y mae* gwyl
i'r ARGLWYDD y foru.
6 A hwy a godasant yn fore drannoeth,
ac a offrymmasant boeth-offrymmau, ac a
ddygasant aberthau hedd: a'r c bobl a ei- c 1 Cor. 10.
steddasant i fwytta ac i yfed, ac a godas- 7.
ant i fynu i chwarae.
7 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, d Cerdda, dos i wared: canys e ym- d Deut. 9.
lygrodd dy bobl a ddygaist i fynu o dir yr 12.
Aipht. e Deut. 32. 5.
8 Buan y ciliasant o'r ffordd a orchym-
ynais iddynt: gwnaethant iddynt lo tawdd,
ac addolasant ef, ac aberthasant iddo; dy-
wedasant hefyd, f Dyma dy dduwiau di, f 1 Bren.
Israel, y rhai a'th ddygasant i fynu o wlad 12. 28.
yr Aipht.
9 Yr ARGLWYDD hefyd a ddywedodd
wrth Moses, g Gwelais y bobl hyn; ac wele g Pen. 33.
pobl war-galed ydynt. 3.
10 Am hynny yn awr gad im lonydd, Deut. 9. 6,
fel yr ennyno fy llid yn eu herbyn, ac y 13.
difethwyf hwynt: a h mi a'th wnaf di yn Esay 48. 4.
genhedlaeth fawr. h Num. 14. 12.
11 A i Moses a ymbiliodd † ger bron yr i Deut. 9. 18.
ARGLWYDD ei DDUW, ac a ddywedodd, Psalm 106.
Pa ham, ARGLWYDD, yr ennyna dy ddig- 23.
ofaint yn erbyn dy bobl, y rhai a ddygaist † Heb.
allan o wlad yr Aipht, trwy nerth mawr, a *ag wyneb.*
llaw gadarn?
12 k Pa ham y caiff yr Aiphtiaid lefaru, k Num. 14.
gan ddywedyd, Mewn malais y dygodd efe 13.
hwynt allan i'w lladd yn y mynyddoedd, Deut. 9. 28.
ac i'w difetha oddi ar wyneb y ddaear? Tro a 32. 27.
oddi wrth angerdd dy ddigofaint, a bydded
edifar gennyt y drwg *a amcenaist* i'th bobl.
13 Cofia Abraham, Isaac, ac Israel, dy
weision, y rhai y tyngaist wrthynt i ti dy
hun, ac y dywedaist wrthynt, l Mi a aml- l Gen. 12. 7.
hâf eich had chwi fel ser y nefoedd; a'r a 13. 15.
holl wlad yma yr hon a ddywedais, a roddaf a 15. 7, 18.
i'ch had chwi, a hwy a'i hetifeddant byth. a 26. 4. a 28. 13. a
14 Ac edifarhaodd ar yr ARGLWYDD am 48. 16.
y drwg a ddywedasai ef y gwnai i'w bobl.
15 ¶ A Moses a drodd, ac a ddaeth i wared
o'r mynydd, a dwy lech y dystiolaeth yn ei
law: y llechau a 'sgrifenasid o'u dau du;
hwy a 'sgrifenasid o bob tu.
16 m A'r llechau hynny *oedd* o waith m Pen. 31.
DUW: yr ysgrifen hefyd *oedd* ysgrifen DUW 18.
yn 'sgrifenedig ar y llechau.
17 A phan glywodd Josua swn y bobl yn
bloeddio, efe a ddywedodd wrth Moses, Y
*mae* swn rhyfel yn y gwersyll.
18 Yntau a ddywedodd, Nid llais bloeddio
am oruchafiaeth, ac nid llais gwaeddi am
‡ golli 'r maes; ond swn canu a glywaf fi. ‡ Heb. *lesgedd.*
19 ¶ A bu, wedi dyfod o hono yn agos i'r
gwersyll, iddo weled y llo a'r dawnsiau:
ac ennynodd digofaint Moses; ac efe a dafl-
odd y llechau o'i ddwylaw ac a'u torrodd
hwynt is law 'r mynydd.
20 n Ac efe a gymmerodd y llo a wnaeth- n Deut. 9.
ent hwy, ac a'i llosgodd â thân, ac a'i malodd 21.
yn llwch, ac a'i tanodd ar wyneb y dwfr, ac
a'i rhoddes i'w yfed i feibion Israel.
21 A dywedodd Moses wrth Aaron, Beth
a wnaeth y bobl hyn i ti, pan ddygaist ar-
nynt bechod *mor* fawr?
22 A dywedodd Aaron, Nac ennyned
digofaint fy arglwydd: ti a adwaenost y
bobl, mai ar ddrwg y maent.
23 Canys dywedasant wrthyf, Gwna i
ni dduwiau i fyned o'n blaen: canys y
Moses hwn, y gwr a'n dug ni i fynu o wlad
yr Aipht, ni wyddom beth *a ddaeth* o hono.

24 A dywedais wrthynt, I'r neb *y mae* aur, tynnwch ef: a hwy a'i rhoddasant i mi; a mi a'i bwriais yn tân, a daeth y llo hwn allan.

25 ¶ A phan welodd Moses fod y bobl yn noeth (canys Aaron ° a'u noethasai hwynt, i'w gwaradwyddo ym mysg † eu gelynion)

° 2 Chron. 28. 19. † Heb. *y rhai a gyfodent i'w herbyn.*

26 Yna y safodd Moses ym mhorth y gwersyll, ac a ddywedodd, Pwy sydd ar du yr ARGLWYDD? *deued* attaf fi. A holl feibion Lefi a ymgasglasant atto ef.

27 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW Israel; Gosodwch bob un ei gleddyf ar ei glun, ac ewch, cynniweirwch o borth i borth trwy'r gwersyll, a p lleddwch bob un ei frawd, a phob un ei gyfaill, a phob un ei gymmydog.

p Num. 25. 5. Deut. 33. 9

28 A meibion Lefi a wnaethant yn ol gair Moses: a chwympodd o'r bobl y dydd hwnnw ynghylch tair mil o wŷr.

29 Canys dywedasai Moses, ‡ Cyssegrwch eich llaw heddyw i'r ARGLWYDD, § bob un ar ei fab, ac ar ei frawd; fel y rhodder heddyw i chwi fendith.

‡ Heb. *Llenwch.* § Neu, *am fod pob un yn erbyn ei fab, ac yn erbyn, &c.*

30 ¶ A thrannoeth y dywedodd Moses wrth y bobl, Chwi a bechasoch bechod mawr: ac yn awr mi a af i fynu at yr ARGLWYDD; q ond odid mi a wnaf gymmod dros eich pechod chwi.

q 2 Sam. 16. 12. Am. 5. 15.

31 A Moses a ddychwelodd at yr ARGLWYDD, ac a ddywedodd, Och, pechodd y bobl hyn bechod mawr, ac a wnaethant iddynt dduwiau o aur.

32 Ac yn awr, os maddeui eu pechod; ac r os amgen, dilea fi, attolwg, allan o'th s lyfr a 'sgrifenaist.

r Rhuf. 9. 3. s Psal. 69. 28. Dan. 12. 1. Phil. 4. 3. Dat. 3. 5. a 13. 8. a 20. 12.

33 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, t Pwy bynnag a bechodd i'm herbyn, hwnnw a ddileaf allan o'm llyfr.

t Ezec. 18. 4.

34 Am hynny dos yn awr, arwain y bobl i'r *lle* a ddywedais wrthyt: u wele, fy angel a â o'th flaen di: x a'r dydd yr ymwelwyf, yr ymwelaf â hwynt am eu pechod.

u Pen. 33. 2, 14, &c. x Deut. 32. 35.

35 A'r ARGLWYDD a darawodd y bobl, am iddynt wneuthur y llo a wnaethai Aaron.

## PEN. XXXIII.

Chwefr. 10. B.

*1 Yr Arglwydd yn gwrthod myned gyd â'r bobl, fel yr addawsai. 4 Y bobl yn galaru am hynny. 7 Symmudo'r tabernacl allan o'r gwersyll. 9 Yr Arglwydd yn llefaru wrth Moses wyneb yn wyneb. 12, 18 Moses yn deisyfu cael gweled gogoniant Duw.*

1491. A'R ARGLWYDD a ddywedodd wrth Moses, Cerdda, dos i fynu oddi yma, ti a'r bobl a ddygaist i fynu o wlad yr Aipht, i'r wlad *am* yr hon y tyngais wrth Abraham, Isaac, a Jacob, gan ddywedyd, a I'th had di y rhoddaf hi.

a Gen. 12. 7. Pen. 32. 13.

2 b A mi a anfonaf angel o'th flaen di; ac a yrraf allan y Canaanead, yr Amoriad, a'r Hethiad, y Phereziad, yr Hefiad, a'r Jebusiad:

b Pen. 32. 34. Deut. 7. 22. Jos. 24. 11.

3 I wlad yn llifeirio o laeth a mel: o herwydd nid af fi i fynu yn dy blith; oblegid pobl c war-galed wyt: rhag i mi d dy ddifa ar y ffordd.

c Pen. 32. 9. Deut. 9. 13. d Pen. 23. 21.

4 ¶ A phan glywodd y bobl y drwg chwedl hwn, galaru a wnaethant: ac ni wisgodd neb ei harddwisg am dano.

5 Oblegid yr ARGLWYDD a ddywedasai wrth Moses, Dywed wrth feibion Israel, Pobl war-galed *y'ych* chwi; yn ddisymmwth y deuaf i fynu i'th ganol di, ac y'th ddifethaf: am hynny yn awr diosg dy harddwisg oddi am danat, fel y gwypwyf beth a wnelwyf it'.

6 A meibion Israel a ddïosgasant eu harddwisg wrth fynydd Horeb.

7 A Moses a gymmerodd y babell, ac a'i lledodd o'r tu allan i'r gwersyll, ym mhell oddi wrth y gwersyll; ac a'i galwodd, Pabell y cyfarfod: a phob un a geisiai 'r ARGLWYDD, a ai allan i babell y cyfarfod, yr hon *ydoedd* o'r tu allan i'r gwersyll.

8 A phan aeth Moses i'r babell, yr holl bobl a godasant, ac a safasant bob un *ar* ddrws ei babell; ac a edrychasant ar ol Moses, nes ei ddyfod i'r babell.

9 A phan aeth Moses i'r babell, y disgynodd colofn y cwmmwl, ac a safodd *wrth* ddrws y babell: a'r *ARGLWYDD* a lefarodd wrth Moses.

10 A gwelodd yr holl bobl golofn y cwmmwl yn sefyll *wrth* ddrws y babell: a'r holl bobl a gododd, ac a addolasant bob un *wrth* ddrws ei babell.

11 e A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses wyneb yn wyneb, fel y llefarai gwr wrth ei gyfaill. Ac efe a ddychwelodd i'r gwersyll: ond y llangc Josua, mab Nun, ei weinidog ef, ni syflodd o'r babell.

e Gen. 32. 30. Num. 12. 8. Deut. 34. 10.

12 ¶ A Moses a ddywedodd wrth yr ARGLWYDD, Gwel, ti a ddywedi wrthyf, Dwg y bobl yma i fynu; ac ni ddangosaist i mi yr hwn a anfoni gyd â mi: a thi a ddywedaist, f Mi a'th adwaen wrth *dy* enw, a chefaist hefyd ffafr yn fy ngolwg.

f Jer. 1. 5.

13 Yn awr gan hynny, o chefais ffafr yn dy olwg hyspysa i mi dy ffordd, attolwg, fel y'th adwaenwyf, ac fel y caffwyf ffafr yn dy olwg: gwel hefyd mai dy bobl di *yw'r* genedl hon.

14 Yntau a ddywedodd, Fy wyneb a gaiff fyned *gyd â thi*, a rhoddaf orphwysdra it'.

15 Ac efe a ddywedodd wrtho, Onid â dy wyneb *gyd â ni*, nac arwain ni i fynu oddi yma.

16 Canys pa fodd y gwyddir yma gael o honof fi ffafr yn dy olwg, mi a'th bobl? onid trwy fyned o honot ti gyd â ni? Felly g myfi a'th bobl a ragorwn ar yr holl bobl *sydd* ar wyneb y ddaear.

g Pen. 34. 10.

17 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Moses, Gwnaf hefyd y peth hyn a leferaist: oblegid ti a gefaist ffafr yn fy ngolwg, a mi a'th adwaen wrth *dy* enw.

18 Yntau a ddywedodd, Dangos i mi, attolwg, dy ogoniant.

19 Ac efe a ddywedodd, h Gwnaf i'm holl ddaioni fyned heibio o flaen dy wyneb, a chyhoeddaf enw'r ARGLWYDD o'th flaen di: a mi i a drugarhaf wrth yr hwn y cymmerwyf drugaredd arno, ac a dosturiaf wrth yr hwn y tosturiwyf.

h Pen. 34. 5, 6. i Rhuf. 9. 15.

20 Ac efe a ddywedodd, Ni elli weled fy wyneb: canys k ni'm gwel dyn, a byw.

k Gen. 32. 30. Deut. 5. 24. Barn. 13. 22. Esay 6. 5. Dat. 1. 16, 17.

21 Yr ARGLWYDD hefyd a ddywedodd, Wele fan yn fy ymyl, lle y cai sefyll ar graig.

22 A thra yr elo fy ngogoniant heibio, mi a'th osodaf o fewn agen yn y graig; a mi a'th orchuddiaf â'm llaw, nes i mi fyned heibio.

23 Yna y tynnaf ymaith fy llaw, a'm tu cefn a gai di ei weled: ond ni welir fy wyneb.

## PEN. XXXIV.

Chwefr. 10. P. 1 *Adnewyddu'r llechau.* 5 *Cyhoeddi Enw'r Arglwydd.* 8 *Moses yn ymbil â Duw ar iddo fyned gyd â hwy.* 10 *Duw yn gwneuthur cyfammod â hwynt, ac yn ail-adrodd rhai o orchymynion y llech gyntaf.* 28 *Moses, wedi bod ddeugain niwrnod yn y mynydd, yn dyfod i lawr â'r llechau.* 29 *Ei wyneb ef yn disgleirio; ac yntau yn rhoddi llenn gudd arno.*

1491. A Dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses,
a Deut. 10. 1. [a] Nadd it' ddwy o lechau cerrig, fel
y rhai cyntaf: a mi a 'sgrifenaf ar y llechau
y geiriau oedd ar y llechau cyntaf, y rhai a
dorraist.
2 A bydd barod erbyn y bore; a thyred
i fynu yn fore i fynydd Sinai, a saf i mi
b Pen. 19. 20. yno [b] ar ben y mynydd.
3 Ond [c] na ddeued neb i fynu gyd â thi,
c Pen. 19. 12, 13. ac na weler neb ar yr holl fynydd: na
phored hefyd na dafad, nac eidion, ar gy-
fer y mynydd hwn.
4 ¶ Ac efe a naddodd ddwy o lechau
cerrig, o fath y rhai cyntaf: a Moses a gy-
fododd yn fore, ac a aeth i fynydd Sinai,
fel y gorchymynasai 'r ARGLWYDD iddo;
ac a gymmerodd yn ei law y ddwy lech
garreg.
5 A'r ARGLWYDD a ddisgynodd mewn
d Pen. 33. 16. cwmmwl, ac a safodd gyd ag ef yno, ac [d] a
gyhoeddodd enw 'r ARGLWYDD.
6 A'r ARGLWYDD a aeth heibio o'i flaen
ef, ac a lefodd, JEHOFAH, JEHOFAH,
e Num. 14. 18. [e] y Duw trugarog, a graslawn, hwyrfrydig
i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd;
f Pen. 20. 5. 7 [f] Yr hwn sydd yn cadw trugaredd i
Deut. 5. 9. filoedd, gan faddeu anwiredd, a chamwedd,
Psal. 86. 15. a phechod, a [g] heb gyfrif *yr anwir* yn gyf-
Jer. 32. 18. iawn; yr hwn a ymwel ag anwiredd y tadau
g Pen. 23. 7, 21. ar y plant, ac ar blant y plant, hyd y dry-
dedd ar bedwaredd genhedlaeth.
Jos. 24. 19. Job 10. 14. 8 A Moses a frysiodd, ac a ymgrymmodd
Mic. 6. 11. tu a'r llawr, ac a addolodd;
Nah. 1. 3. 9 Ac a ddywedodd, Os cefais yn awr
ffafr yn dy olwg, O Arglwydd, eled fy Ar-
glwydd, attolwg, yn ein plith ni (canys
pobl war-galed *yw*) a maddeu ein hanwiredd,
a'n pechod, a chymmer ni yn etifeddiaeth
i ti.
h Deut. 5. 2. 10 ¶ Yntau a ddywedodd, Wele [h] fi yn
gwneuthur cyfammod yngŵydd dy holl
bobl: gwnaf ryfeddodau y rhai ni wnaed yn
yr holl ddaear, nac yn yr holl genhedloedd;
a'r holl bobl yr wyt ti yn eu mysg a gânt
weled gwaith yr ARGLWYDD: canys ofn-
adwy *yw* 'r hyn a wnaf â thi.
11 Cadw'r hyn a orchymynais it' heddyw:
wele, mi a yrraf allan o'th flaen di yr
Amoriad, a'r Canaanead, a'r Hethiad, a'r
Phereziad, yr Hefiad hefyd, a'r Jebusiad.
i Pen. 23. 32. 12 A [i] chadw arnat, rhag gwneuthur
Deut. 7. 2. cyfammod â phreswylwŷr y wlad yr wyt yn
myned iddi; rhag eu bod yn fagl yn dy
blith.
k Pen. 23. 24. 13 Eithr dinystriwch eu halloran hwynt,
Deut. 12. 3. [k] drylliwch eu delwau hwynt, a [l] thorrwch
l Bar. 6. 25. i lawr eu llwynau hwynt.
2 Bren. 18. 4. a 23. 14. 14 Canys ni chai ymgrymmu i dduw
2 Chron. 31. arall: oblegid yr ARGLWYDD, Eiddigus
1. a 34. 3. *yw* ei enw; Duw [m] eiddigus *yw* efe:
m Pen. 20. 5. 15 Rhag it' wneuthur cyfammod â phres-
wylwŷr y tir; ac iddynt butteinio ar ol eu
n 1 Bren. 11. 2. duwiau, ac aberthu i'w duwiau, a'th alw di,
Neh. 13. 2, ac i tithau fwytta o'u haberth;
5. 16 A chymmeryd o honot o'u [n] merched
i'th feibion; a [o] phutteinio o'u merched ar o Num. 25. 1, 2.
ol eu duwiau hwynt, a gwneuthur i'th feib-
ion di butteinio ar ol eu duwiau hwynt.
17 Na wna it' dduwiau tawdd.
18 ¶ Cadw wyl [p] y bara croyw: saith p Pen. 12.
niwrnod y bwyttâi fara croyw, fel y gor- 15. a 23. 15.
chymynais it', ar yr amser ym mis Abib.
oblegid ym [q] mis Abib y daethost allan o'r q Pen. 13.
Aipht. 4.
19 [r] Eiddof fi yw pob peth a agoro'r groth; r Pen. 13.
a phob *gwryw* cyntaf o'th anifeiliaid, yn 2, 13. a 22. 29.
eidionau, ac yn ddefaid. Ezec. 44.
20 Ond [s] y cyntaf i asyn a bryni di † ag 30.
oen; ac oni phryni, torr ei wddf: pryn Luc 2. 23.
hefyd bob cyntaf-anedig o'th feibion; ac s Num. 18.
[t] nac ymddangosed *neb* ger fy mron yn 15.
waglaw. † Neu, *â myn.*
21 ¶ [u] Chwe diwrnod y gweithi; ac ar y t Pen. 23.
seithfed dydd y gorphwysi: yn amser aredig, 15.
ac yn y cynhauaf y gorphwysi. Deut. 16.
22 ¶ [x] Cadw it' hefyd wyl yr wythnosau, 16. 1 Sam. 9.
o flaen-ffrwyth y cynhauaf gwenith; a gwyl 7, 8.
y cynnul, *ar* ddiwedd y flwyddyn. 2 Sam. 24. 24.
23 ¶ [y] Tair gwaith yn y flwyddyn yr u Pen. 23.
ymddengys dy holl wrrywiaid ger bron yr 12.
ARGLWYDD DDUW, Duw Israel. Deut. 5. 12.
24 Canys mi a yrraf y cenhedloedd allan Luc 13. 14.
o'th flaen di, ac a helaethaf dy derfynau di: x Pen. 23. 16.
ac [z] ni chwennych neb dy dir di, pan elych y Pen. 23.
i fynu i ymddangos ger bron yr ARGLWYDD 14, 17.
dy DDUW, dair gwaith yn y flwyddyn. Deut. 16. 16.
25 [a] Nac offrymma waed fy aberth gyd z Edrych
â bara lefeinllyd; ac [b] nac arhoed aberth Gen. 35. 5.
gwyl y Pasg dros nos hyd y bore. Act. 18. 10.
26 [c] Dwg y ‡ goreu o flaen-ffrwyth dy a Pen. 23.
dir i dŷ 'r ARGLWYDD dy DDUW. [d] Na 18.
ferwa fynn yn llaeth ei fam. b Pen. 12. 10.
27 Yr ARGLWYDD hefyd a ddywedodd c Deut. 26.
wrth Moses, 'Sgrifena it' y geiriau hyn: 2.
oblegid yn ol y geiriau hyn y gwneuthum ‡ *cyntaf.*
gyfammod â thi, ac ag Israel. d Pen. 23.
28 [e] Ac efe a fu yno gyd â'r ARGLWYDD 19.
ddeugain niwrnod a deugain nos; ni fwyt- Deut. 14. 21.
taodd fara, ac nid yfodd ddwfr: ac [f] efe a e Pen. 24.
'sgrifenodd ar y llechau eiriau 'r cyfammod, 18.
*sef* y deg § gair. Deut. 9. 9.
29 ¶ A phan ddaeth Moses i wared o 18.
fynydd Sinai, â dwy lech y dystiolaeth yn f Pen. 31.
llaw Moses, pan ddaeth efe i wared o'r 18. a 34. 1.
mynydd, ni wyddai Moses i [g] groen ei Deut. 4. 13.
wyneb ddisgleirio wrth lefaru o hono ef § *gorchymyn.*
wrtho. g 2 Chron. 3. 7, 13.
30 A phan welodd Aaron a holl feibion
Israel Moses, wele, yr oedd croen ei wyneb
ef yn disgleirio; a hwy a ofnasant nesâu
atto ef.
31 A Moses a alwodd arnynt. Ac Aaron
a holl bennaethiaid y gynnulleidfa a ddych-
welasant atto ef: a Moses a lefarodd wrth-
ynt hwy.
32 Ac wedi hynny nesaodd holl feibion
Israel: ac efe a orchymynodd iddynt yr
hyn oll a lefarasai 'r ARGLWYDD yn my-
nydd Sinai.
33 Ac *nes* darfod i Moses lefaru wrthynt,
efe a roddes [h] lenn gudd ar ei wyneb. h 2 Chron. 3. 13.
34 A phan ddelai Moses ger bron yr AR-
GLWYDD i lefaru wrtho, efe a dynnai
ymaith y llenn gudd nes ei ddyfod allan:
a phan ddelai efe allan, y llefarai wrth
feibion Israel yr hyn a orchymynid iddo.
35 A meibion Israel a welsant wyneb
Moses, fod croen wyneb Moses yn disgleirio:
a Moses a roddodd drachefn y llenn gudd
ar ei wyneb, hyd oni ddelai i lefaru wrth
DDUW.

## PEN. XXXV.

1 *Y Sabboth.* 4 *Ewyllysgar offrymmau i'r tabernacl.* 20 *Parodrwydd y bobl i offrymmu.* 30 *Galw Besaleel ac Aholïab i'r gwaith.*

1491. CASGLODD Moses hefyd holl gynnulleidfa meibion Israel, a dywedodd wrthynt, Dyma 'r pethau a orchymynodd yr ARGLWYDD eu gwneuthur.

a Pen. 20. 9. Lef. 23. 3. Deut. 5. 12. Luc 13. 14. † Heb. *sancteiddrwydd.* 2 a Chwe diwrnod y gwnair gwaith; ar y seithfed dydd y bydd i chwi ddydd † sanctaidd, Sabboth gorphwys i'r ARGLWYDD: llwyr-rodder i farwolaeth pwy bynnag a wnelo waith arno.

b Pen. 16. 23. 3 b Na chynneuwch dân yn eich holl anneddau ar y dydd Sabboth.

4 ¶ A Moses a lefarodd wrth holl gynnulleidfa meibion Israel, gan ddywedyd, Dyma 'r peth a orchymynodd yr ARGLWYDD, gan ddywedyd,

c Pen. 25. 2. 5 c Cymmerwch o'ch plith offrwm yr ARGLWYDD: pob un ewyllysgar ei galon dyged hyn yn offrwm i'r ARGLWYDD; aur, ac arian, a phres,

6 A *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad, a llïain main, a *blew* geifr,

7 A chrwyn hyrddod wedi eu lliwo yn gochion, a chrwyn daearfoch, a choed Sittim,

8 Ac olew i'r goleuni, a llysiau i olew yr ennaint, ac i'r arogl-darth peraidd,

9 A meini onix, a meini i'w gosod yn yr ephod, ac yn y ddwyfronneg.

d Pen. 31. 6. 10 A d phob doeth ei galon yn eich plith, deuant a gweithiant yr hyn oll a orchymynodd yr ARGLWYDD;

e Pen. 26. 1, &c. 11 e Y tabernacl, ei babell-lenn a'i do, ei fachau a'i ystyllod, ei farrau, ei golofnau, a'i forteisiau,

12 Yr arch, a'i throsolion, y drugareddfa, a'r wahanlen, yr hon *a'i* gorchuddia,

13 Y bwrdd, a'i drosolion, a'i holl lestri, a'r bara dangos,

14 A chanhwyllbren y goleuni, a'i offer, a'i lampau, ac olew y goleuni,

f Pen. 30. 1. 15 f Ac allor yr arogl-darth, a'i throsolion, ac olew yr enneiniad, a'r arogl-darth peraidd, a chaeadlen y drws i fyned i'r tabernacl,

g Pen. 27. 1. 16 g Allor y poeth-offrwm a'i halch bres, ei throsolion, a'i holl lestri, y noe a'i throed,

17 Llenni'r cynteddfa, ei golofnau, a'i forteisiau, caeadlen porth y cynteddfa,

18 Hoelion y tabernacl, a hoelion y cynteddfa, a'u rhaffau hwynt,

19 A gwisgoedd y weinidogaeth i weini yn y cyssegr, sanctaidd wisgoedd Aaron yr offeiriad, a gwisgoedd ei feibion ef, i offeiriadu *ynddynt.*

20 ¶ A holl gynnulleidfa meibion Israel a aethant allan oddi ger bron Moses.

21 A phob un yr hwn y cynhyrfodd ei galon ef, a phob un yr hwn y gwnaeth ei yspryd ef yn ewyllysgar, a ddaethant, *ac a* ddygasant offrwm i'r ARGLWYDD, tu ag at waith pabell y cyfarfod, a thu ag at ei holl wasanaeth hi, a thu ag at y gwisgoedd sanctaidd.

22 A daethant yn wŷr ac yn wragedd; pob un a'r a oedd ewyllysgar ei galon a ddygasant freichledau, a chlust-dlysau, a modrwyau, a chadwynau, pob math ar dlysau aur; a phob gwr a'r a offrymmodd offrwm, *a offrymmodd* aur i'r ARGLWYDD.

23 A phob un a'r y caed gyd ag ef *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad, a llïain main, a *blew* geifr, a chrwyn hyrddod wedi eu lliwo yn gochion, a chrwyn daearfoch, a'u dygasant.

24 Pob un a'r a offrymmodd offrwm o arian a phres, a ddygasant offrwm i'r ARGLWYDD: a phob un a'r y caed gyd ag ef goed Sittim i ddim o waith y gwasanaeth, a'i dygasant.

25 A phob gwraig ddoeth o galon a nyddodd â'i dwylaw; ac a ddygasant yr edafedd *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad, a llïain main.

26 A'r holl wragedd y rhai y cynhyrfodd eu calonnau hwynt mewn cyfarwyddyd, a nyddasant *flew* geifr.

27 A'r pennaethiaid a ddygasant feini onix, a meini i'w gosod ar yr ephod, ac ar y ddwyfronneg;

28 A h llysiau, ac olew i'r goleuni, ac i olew yr ennaint, ac i'r arogl-darth peraidd. h Pen. 30. 23.

29 Holl blant Israel, yn wŷr ac yn wragedd, y rhai a glywent ar eu calon offrymmu tu ag at yr holl waith a orchymynasai 'r ARGLWYDD trwy law Moses ei wneuthur, a ddygasant i'r ARGLWYDD offrwm ewyllysgar.

30 ¶ A dywedodd Moses wrth feibion Israel, Gwelwch, i galwodd yr ARGLWYDD erbyn ei enw, Besaleel, fab Uri, fab Hur, o lwyth Judah: i Pen. 31. 2.

31 Ac a'i llanwodd ef ag yspryd Duw, mewn cyfarwyddyd, mewn deall, ac mewn gwybodaeth, ac mewn pob gwaith;

32 I ddychymmygu cywreinrwydd, i weithio mewn aur, ac mewn arian, ac mewn pres,

33 Ac mewn cyfarwyddyd i osod meini, ac mewn saernïaeth pren, i weithio ym mhob gwaith cywraint.

34 Ac efe a roddodd yn ei galon ef ddysgu *eraill;* efe, ac Aholïab, mab Achisamach, o lwyth Dan.

35 Efe a'u llanwodd hwynt â doethineb calon, i wneuthur pob gwaith saer a chywreinwaith, a gwaith edau a nodwydd, mewn *sidan* glas, ac mewn porphor, ac mewn ysgarlad, ac mewn llïain main, ac i wau, gan wneuthur pob gwaith, a dychymmygu cywreinrwydd.

## PEN. XXXVI.

1 *Rhoddi offrwm y bobl yn llaw 'r gweithwyr.* 5 *Gorfod gwahardd haelioni 'r bobl.* 8 *Llenni y cerubiaid.* 14 *Y llenni o flew geifr.* 19 *Y babell-lenn o grwyn.* 20 *Y byrddau a'u morteisiau.* 31 *Y barrau.* 35 *Y wahanlen.* 37 *Y gaeadlen i'r drws.*

YNA y gweithiodd Besaleel ac Aholïab, 1490.
a phob gwr doeth o galon, y rhai y rhoddasai 'r ARGLWYDD gyfarwyddyd a deall ynddynt, i fedru gwneuthur holl waith gwasanaeth y cyssegr, yn ol yr hyn oll a orchymynasai 'r ARGLWYDD.

2 A Moses a alwodd Besaleel ac Aholïab, a phob gwr celfydd, y rhoddasai yr ARGLWYDD gyfarwyddyd iddo; pob un yr hwn y dug ei galon ei hun ef i nesâu at y gwaith i'w weithio ef.

3 A chymmerasant gan Moses yr holl offrwm a ddygasai meibion Israel i waith gwasanaeth y cyssegr, i'w weithio ef. A hwy a ddygasant atto ef ychwaneg o offrwm gwirfodd bob bore.

4 A'r holl rai celfydd, a'r oedd yn gweithio holl waith y cyssegr, a ddaethant

bob un oddi wrth ei waith, yr hwn yr oeddynt yn ei wneuthur.

5 ¶ A llefarasant wrth Moses, gan ddywedyd, Y mae'r bobl yn dwyn mwy nâ digon er gwasanaeth i'r gwaith a orchymynodd yr ARGLWYDD ei wneuthur.

6 A Moses a roes orchymyn; a hwy a barasant gyhoeddi trwy'r gwersyll, gan ddywedyd, Na wnaed na gwr na gwraig waith mwy tu ag at offrwm y cyssegr. Felly yr attaliwyd y bobl rhag dwyn *mwy*.

7 Canys yr ydoedd digon o ddefnydd i'r holl waith i'w wneuthur, a gweddill.

a Pen. 26. 3, 4.
8 ¶ [a] A'r holl rai celfydd, o'r rhai oedd yn gweithio gwaith y tabernacl, a wnaethant ddeg llenn o liain main cyfrodedd, a *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad: â cherubiaid o waith cywraint y gwnaethant hwynt.

9 Hŷd un llenn *oedd* wyth gufydd ar hugain; a lled un llenn pedwar cufydd: yr un mesur *oedd* i'r holl lenni.

10 Ac efe a gydiodd bùm llenn wrth eu gilydd; ac a gydiodd y pum llenn *eraill* wrth eu gilydd.

11 Ac efe a wnaeth ddolennau o *sidan* glas ar ymyl un llenn, ar *ei* chwrr eithaf yn y cydiad: felly y gwnaeth efe ar ymyl llenn arall, ynghydiad yr ail.

b Pen. 26. 10.
12 [b] Deg dolen a deugain a wnaeth efe ar un llenn, a deg dolen a deugain a wnaeth efe yn y cwrr eithaf i'r llenn ydoedd ynghydiad yr ail: y dolennau oedd yn dal y naill *lenn* wrth y llall.

13 Ac efe a wnaeth ddeg a deugain o fachau aur, ac a gydiodd y naill lenn wrth y llall â'r bachau; fel y byddai yn un tabernacl.

14 ¶ Efe a wnaeth hefyd lenni *o flew* geifr, *i fod* yn babell-lenn ar y tabernacl: yn un llenn ar ddeg y gwnaeth efe hwynt.

15 Hŷd un llenn oedd ddeg cufydd ar hugain, a lled un llenn *oedd* bedwar cufydd: a'r un mesur oedd i'r un llenn ar ddeg.

16 Ac efe a gydiodd bùm llenn wrthynt eu hunain, a chwe llenn wrthynt eu hunain.

17 Efe a wnaeth hefyd ddeg dolen a deugain ar ymyl eithaf y llenn yn y cydiad; a deg dolen a deugain a wnaeth efe ar ymyl y llenn ynghydiad yr ail.

18 Ac efe a wnaeth ddeg a deugain o fachau pres, i gydio'r babell-lenn i fod yn un.

19 Ac efe a wnaeth dô i'r babell-lenn o grwyn hyrddod wedi eu lliwo yn gochion, a thô o grwyn daearfoch yn uchaf.

20 ¶ Ac efe a wnaeth ystyllod i'r tabernacl o goed Sittim, yn eu sefyll.

21 Deg cufydd *oedd* hŷd ystyllen; a chufydd a hanner cufydd lled pob ystyllen.

22 Dau dyno *oedd* i'r un ystyllen, wedi eu gosod mewn trefn y naill ar gyfer y llall: felly y gwnaeth efe i holl ystyllod y tabernacl.

23 Ac efe a wnaeth ystyllod i'r tabernacl; ugain ystyllen i'r tu dehau, tu a'r dehau.

24 A deugain mortais arian a wnaeth efe dan yr ugain ystyllen: dwy fortais dan un ystyllen i'w dau dyno, a dwy fortais dan ystyllen arall i'w dau dyno.

25 Ac i ail ystlys y tabernacl, o du'r gogledd, efe a wnaeth ugain ystyllen,

26 A'u deugain mortais o arian; dwy fortais dan un ystyllen, a dwy fortais dan ystyllen arall.

27 Ac i ystlysau'r tabernacl, tu a'r gorllewin, y gwnaeth efe chwech ystyllen.

28 A dwy ystyllen a wnaeth efe ynghonglau'r tabernacl i'r ddau ystlys.

29 Ac yr oeddynt wedi eu † cydio oddi tanodd; ac yr oeddynt hefyd wedi eu cydio oddi arnodd wrth un fodrwy: felly y gwnaeth iddynt ill dwy yn y ddwy gongl. † Heb. *plethu.*

30 Ac yr oedd wyth ystyllen; a'u morteisiau oedd un ar bymtheg o forteisiau arian: ‡ dwy fortais dan bob ystyllen. ‡ Heb. *dwy fortais, dwy fortais dan un ystyllen.*

31 ¶ Ac efe a wnaeth [c] farrau o goed Sittim: pump i ystyllod un ystlys i'r tabernacl,

32 A phum barr i ystyllod ail ystlys y tabernacl, a phum barr i ystyllod y tabernacl i'r ystlysau o du'r gorllewin. c Pen. 25. 28. a 30. 5.

33 Ac efe a wnaeth y barr canol i gyrhaeddyd trwy'r ystyllod o gwrr i gwrr.

34 Ac efe a osododd aur dros yr ystyllod, ac a wnaeth eu modrwyau hwynt o aur, i fyned am y barrau; ac a wisgodd y barrau ag aur.

35 ¶ Ac efe a wnaeth [d] wahanlen o *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad, a lliain main cyfrodedd: â cherubiaid o waith cywraint y gwnaeth efe hi. d Pen. 26. 31.

36 Ac efe a wnaeth iddi bedair colofn *o goed* Sittim, ac a'u gwisgodd hwynt ag aur; a'u pennau *oedd* o aur: ac efe a fwriodd iddynt bedair mortais o arian.

37 ¶ Ac efe a wnaeth [e] gaeadlen i ddrws y tabernacl o *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad a lliain main cyfrodedd, o waith edau a nodwydd; e Pen. 26. 36.

38 A'i phum colofn, a'u pennau; ac a oreurodd eu pennau hwynt, a'u cylchau, ag aur: ond eu pum mortais *oedd* o bres.

## PEN. XXXVII.

1 *Yr arch.* 6 *Y drugareddfa a'r cerubiaid.* 10 *Y bwrdd a'i lestri,* 17 *Y canhwyllbren, a'i lampau, a'i offer.* 25 *Allor yr arogldarth.* 29 *Olew'r enneiniad, a'r per-arogldarth.*

A Besaleel a wnaeth [a] yr arch o goed Sittim; o ddau gufydd a hanner ei hŷd, a chufydd a hanner ei lled, a chufydd a hanner ei huchder. 1490. a Pen. 37. 10.

2 Ac a'i gwisgodd hi ag aur pur o fewn ac oddi allan; ac a wnaeth iddi goron o aur o amgylch.

3 Ac a fwriodd iddi bedair modrwy o aur ar ei phedair congl; sef dwy fodrwy ar ei naill ystlys, a dwy fodrwy ar ei hystlys arall.

4 Efe a wnaeth hefyd drosolion o goed Sittim, ac a'u gwisgodd hwynt ag aur.

5 Ac a osododd y trosolion trwy'r modrwyau ar ystlysau'r arch, i ddwyn yr arch.

6 ¶ Ac efe a wnaeth y [b] drugareddfa o aur coeth; o ddau gufydd a hanner ei hŷd, a chufydd a hanner ei lled. b Pen. 25. 17.

7 Ac efe a wnaeth ddau gerub aur: o un dryll cyfan y gwnaeth efe hwynt, ar ddau ben y drugareddfa;

8 Un cerub † ar y pen o'r tu yma, a cherub arall ar y pen o'r tu arall: o'r drugareddfa y gwnaeth efe'r cerubiaid, ar ei dau ben hi. † Neu, *o'r pen.*

9 A'r cerubiaid oeddynt, gan ledu esgyll tu ag i fynu, â'u hesgyll yn gorchuddio'r drugareddfa, â'u hwynebau bob un at eu gilydd: wynebau'r cerubiaid *oedd* tu ag at y drugareddfa.

10 ¶ Ac efe a wnaeth [c] fwrdd o goed Sittim: dau gufydd ei hŷd, a chufydd ei led, a chufydd a hanner ei uchder. c Pen. 25. 23.

11 Ac a osododd aur pur drosto, ac a
wnaeth iddo goron o aur o amgylch.
12 Gwnaeth hefyd iddo gylch o amgylch
o led llaw; ac a wnaeth goron o aur ar ei
gylch o amgylch.
13 Ac efe a fwriodd iddo bedair modrwy
o aur; ac a roddodd y modrwyau wrth ei
bedair congl, y rhai *oedd* yn ei bedwar
troed.
14 A'r gyfer y cylch yr oedd y modrwyau,
yn lle i'r trosolion i ddwyn y bwrdd.
15 Ac efe a wnaeth drosolion o goed Sit-
tim, ac a'u gwisgodd hwynt ag aur i ddwyn
y bwrdd.
16 Efe a wnaeth hefyd y llestri *fyddai* ar
d Pen. 25. 29. y bwrdd, ei d ddysglau ef, a'i lwyau, a'i
phiolau, a'i gaeadau i † gau â hwynt, o aur
† Neu, *dywallt.* pur.
e Pen. 25. 31. 17 ¶ Ac efe a wnaeth e ganhwyllbren o
aur coeth: o un dryll cyfan y gwnaeth efe'r
canhwyllbren, ei baladr, ei geingciau, ei
bedyll, ei gnapiau, a'i flodau, oedd o'r un.
18 A chwech o geingciau yn myned allan
o'i ystlysau: tair caingc o'r canhwyllbren o
un ystlys, a thair caingc o'r canhwyllbren
o'r ystlys arall.
19 Tair padell ar waith almonau, cnap a
blodeuyn *oedd* ar un gaingc; a thair padell o
waith almonau, cnap a blodeuyn ar gaingc
arall: yr un modd *yr oedd* ar y chwe chaingc,
y rhai oedd yn dyfod allan o'r canhwyllbren.
20 Ac ar y canhwyllbren *yr oedd* pedair
padell o waith almonau, ei gnapiau a'i
flodau.
21 A chnap dan ddwy gaingc o hono, a
chnap dan ddwy gaingc o hono, a chnap dan
ddwy gaingc o hono; yn ol y chwe chaingc
oedd yn dyfod allan o hono.
22 Eu cnapiau a'u ceingciau oedd o'r
un: *y* cwbl o hono *ydoedd* un dryll cyfan o
aur coeth.
23 Ac efe a wnaeth ei saith lamp ef, a'i
efeiliau, a'i gafnau, o aur pur.
24 O dalent o aur coeth y gwnaeth efe ef,
a'i holl lestri.
f Pen. 30. 1. 25 ¶ f Gwnaeth hefyd allor yr arogl-
darth o goed Sittim: o gufydd ei hŷd, a
chufydd ei lled, yn bedair ongl; ac o ddau
gufydd ei huchder: ei chyrn oedd o'r un.
26 Ac efe a'i gwisgodd hi ag aur coeth, ei
chaead, a'i hystlysau o amgylch, a'i chyrn;
ac efe a wnaeth iddi goron o aur o amgylch.
27 Ac efe a wnaeth iddi ddwy fodrwy o
aur wrth ei dwy gongl, ar ei dau ystlys,
oddi tan ei choron, i fyned am drosolion i'w
dwyn arnynt.
28 Ac efe a wnaeth drosolion o goed Sit-
tim; ac a'u gwisgodd hwynt ag aur.
g Pen. 30. 23, 35. 29 ¶ Ac efe a wnaeth g olew'r enneiniad
sanctaidd, a'r arogl-darth llysieuog pur, o
waith yr apothecari.

## PEN. XXXVIII.

1 *Allor y poeth-offrwm.* 8 *Y noe bres.* 9
*Y cynteddfa.* 21 *Cyfrif o offrymmau'r bobl.*

1490. AC efe a a wnaeth allor y poeth-offrwm
a Pen. 27. 1. o goed Sittim: o bum cufydd ei hŷd,
a phum cufydd ei lled, yn bedair ongl; ac
yn dri chufydd ei huchder.
2 Gwnaeth hefyd ei chyrn hi ar ei phed-
air congl: ei chyrn hi oedd o'r un; ac efe
a'i gwisgodd hi â phres.
3 Efe a wnaeth hefyd holl lestri'r allor,
y crochanau, a'r rhawiau, a'r cawgiau, a'r
cigweiniau, a'r pedyll tân: ei holl lestri hi
a wnaeth efe o bres.
4 Ac efe a wnaeth i'r allor alch bres, ar
waith rhwyd, dan ei chwmpas oddi tanodd
hyd ei hanner hi.
5 Ac efe a fwriodd bedair modrwy i
bedwar cwrr yr alch bres, i fyned am dro-
solion.
6 Ac efe a wnaeth drosolion o goed Sit-
tim; ac a'u gwisgodd hwynt â phres.
7 Ac efe a dynnodd y trosolion trwy'r
modrwyau ar ystlysau'r allor, i'w dwyn hi
arnynt: yn gau y gwnaeth efe hi ag ystyllod.
8 ¶ Ac efe a wnaeth b noe bres, a'i b Pen. 30. 17.
throed o bres, o ddrychau *gwragedd* y rhai
a ymgasglent *yn finteioedd* at ddrws pabell
y cyfarfod.
9 ¶ Ac efe a wnaeth c y cynteddfa: ar c Pen. 27. 9.
yr ystlys dehau, tu a'r dehau, llenni'r cyn-
teddfa *oedd* o liain main cyfrodedd, o gan
cufydd.
10 A'i hugain colofn, ac a'i hugain mor-
tais, o bres: a phennau'r colofnau a'u cylch-
au, o arian *yr oeddynt.*
11 Ac ar du'r gogledd, *y llenni oedd* gan
cufydd; eu hugain colofn, a'u hugain mor-
tais, o bres: a phennau'r colofnau a'u
cylchau o arian.
12 Ac o du'r gorllewin, llenni o ddeg
cufydd a deugain: eu deg colofn, a'u deg
mortais, a phennau'r colofnau, a'u cylchau,
o arian.
13 Ac i du'r dwyrain tu a'r dwyrain *yr
oedd llenni* o ddeg cufydd a deugain.
14 Llenni o bymtheg cufydd *a wnaeth efe*
o'r *naill* du i'r porth; eu tair colofn, a'u tair
mortais.
15 Ac *efe a wnaeth* ar yr ail ystlys, o ddeu-
tu drws porth y cynteddfa, lenni o bymtheg
cufydd; eu tair colofn, a'u tair mortais.
16 Holl lenni'r cynteddfa o amgylch *a
wnaeth efe* o liain main cyfrodedd.
17 A morteisiau'r colofnau, *oedd* o bres;
pennau'r colofnau, a'u cylchau, o arian; a
gwisg eu pennau, o arian; a holl golofnau'r
cynteddfa oedd wedi eu cylchu ag arian.
18 A chaeadlen drws y cynteddfa *ydoedd*
waith edau a nodwydd o *sidan* glas, a phor-
phor, ac ysgarlad, a lliain main cyfrodedd;
ac yn ugain cufydd o hŷd, a'i huchder o'i
lled yn bum cufydd, ar gyfer llenni'r cyn-
teddfa.
19 Eu pedair colofn hefyd, a'u pedair mor-
tais, *oedd* o bres; a'u pennau o arian; gwisg
eu pennau hefyd a'u cylchau *oedd* arian.
20 A holl d hoelion y tabernacl, a'r cyn- d Pen. 27. 19.
teddfa oddi amgylch, *oedd* bres.
21 ¶ Dyma gyfrif *perthynasau*'r taber-
nacl, *sef* tabernacl y dystiolaeth, y rhai a
gyfrifwyd wrth orchymyn Moses, *i* wa-
sanaeth y Lefiaid, trwy law Ithamar, fab
Aaron yr offeiriad.
22 A Besaleel, mab Uri, mab Hur, o
lwyth Judah, a wnaeth yr hyn oll a orchy-
mynodd yr ARGLWYDD wrth Moses.
23 A chyd ag ef yr ydoedd Aholïab, mab
Achisamach, o lwyth Dan; saer cywraint, a
gwniedydd mewn *sidan* glas, ac mewn por-
phor, ac mewn ysgarlad, ac mewn lliain
main.
24 Yr holl aur a weithiwyd yn y gwaith,
*sef* yn holl waith y cyssegr, sef aur yr offrwm,
ydoedd naw talent ar hugain, a saith gan
sicl a deg ar hugain, yn ol e sicl y cyssegr. e Pen. 30. 13.
25 Ac arian y rhai a gyfrifwyd o'r gyn-
nulleidfa, *oedd* gan talent, a mil a saith gant
a phymtheg sicl a thrugain, yn ol sicl y
cyssegr.

f Pen. 30. 15. 26 f Becah am bob pen; *sef* hanner sicl, yn ol sicl y cyssegr, am bob un a elai heibio dan rif, o fab ugein-mlwydd ac uchod; *sef*
g Num. 1. 46. am g chwe chan mil a thair mil a phum cant a deg a deugain.

27 Ac o'r can talent arian y bwriwyd
h Pen. 26. 19, 21, 25, 32. h morteisiau 'r cyssegr, a morteisiau 'r wahanlen; can mortais o'r can talent, talent i bob mortais.

28 Ac o'r mil a saith gant a phymtheg *sicl* a thrugain, y gwnaeth efe bennau'r colofnau; ac y gwisgodd eu pennau, ac y cylchodd hwynt.

29 A phres yr offrwm *oedd* ddeg talent a thrugain, a dwy fil a phedwar cant o siclau.

30 Ac efe a wnaeth o hynny forteisiau drws pabell y cyfarfod, a'r allor bres, a'r alch pres yr hwn *oedd* iddi, a holl lestri 'r allor;

31 A morteisiau 'r cynteddfa o amgylch, a morteisiau porth y cynteddfa, a holl hoelion y tabernacl, a holl hoelion y cynteddfa o amgylch.

## PEN. XXXIX.

1 *Gwisgoedd y weinidogaeth, a'r gwisgoedd sanctaidd.* 2 *Yr ephod.* 8 *Y ddwyfronneg.* 22 *Mantell yr ephod.* 27 *Y peisiau, y meitr, a'r gwregys o liain main.* 30 *Taleith y goron sanctaidd.* 32 *Moses yn golygu 'r cwbl, ac yn eu bendithio.*

1490. AC o'r *sidan* glas, a'r porphor, a'r ysgarlad, y gwnaethant wisgoedd gweini-
a Pen. 31. 10. a 35. 19. dogaeth, i weini yn y cyssegr: a gwnaethant y gwisgoedd sanctaidd i Aaron; b fel y gor-
b Pen. 28. 4. chymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.

2 Ac efe a wnaeth yr ephod o aur, *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad, a llïain main cyfrodedd.

3 A gyrrasant yr aur yn ddalennau teneuon, ac a'i torrasant yn edafedd, i weithio yn y *sidan* glas, ac yn y porphor, ac yn yr ysgarlad, ac yn y llïain main, yn waith cywraint.

4 Ysgwyddau a wnaethant iddi yn cydio: wrth ei dau gwrr y cydiwyd hi.

5 A gwregys cywraint ei ephod ef, yr hwn oedd arni, *ydoedd* o'r un, yn un-waith â hi; o aur, *sidan* glas, a phorphor, ac ysgarlad, a llïain main cyfrodedd: megis y gorchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.

c Pen. 28. 9. 6 ¶ c A hwy a weithiasant feini onix wedi eu gosod mewn boglynau aur, wedi eu naddu â naddiadau sel, ag enwau meibion Israel *ynddynt*.

7 A gosododd hwynt ar ysgwyddau 'r
d Pen. 28. 12. ephod, yn feini d coffadwriaeth i feibion Israel; megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD wrth Moses.

8 ¶ Efe a wnaeth hefyd y ddwyfronneg o waith cywraint, ar waith yr ephod; o aur, *sidan* glas, porphor hefyd, ac ysgarlad, a llïain main cyfrodedd.

9 Pedairongl ydoedd; yn ddau ddyblyg y gwnaethant y ddwyfronneg: o rychwant ei hŷd, a rhychwant ei llêd, yn ddau ddyblyg.

10 A gosodasant ynddi bedair rhes o
* Neu, *rubi.* feini: rhes o † sardius, tophas, a smaragdus, *ydoedd* y rhes gyntaf.

11 A'r ail res *oedd* carbuncl, saphir, ac adamant.

12 A'r drydedd res *ydoedd*, lygur, acat, ac amethyst.

13 A'r bedwaredd res *ydoedd*, beryl, onix, a jaspis; wedi eu hamgylchu mewn boglynau aur yn eu lleoedd.

14 A'r meini *oedd* yn ol enwau meibion Israel, yn ddeuddeg, yn ol eu henwau hwynt; pob un wrth ei enw *oeddynt*, o naddiadau sel, yn ol y deuddeg llwyth.

15 A hwy a wnaethant ar y ddwyfronneg gadwynau ar y cyrrau, yn blethwaith o aur pur.

16 A gwnaethant ddau foglyn aur, a dwy fodrwy o aur; ac a roddasant y ddwy fodrwy ar ddau gwrr y ddwyfronneg.

17 A rhoddasant y ddwy gadwyn blethedig o aur trwy 'r ddwy fodrwy, ar gyrrau 'r ddwyfronneg.

18 A deupen y ddwy gadwyn blethedig a roddasant ynglŷn yn y ddau foglyn; ac a'u gosodasant ar ysgwyddau 'r ephod, o'r tu blaen.

19 Gwnaethant hefyd ddwy fodrwy o aur, ac a'u gosodasant ar ddau ben y ddwyfronneg, ar yr ymyl sydd ar ystlys yr ephod, o'r tu mewn.

20 A hwy a wnaethant ddwy fodrwy aur, ac a'u gosodasant ar ddau ystlys yr ephod, oddi tanodd tu a'i thu blaen, ar gyfer ei chydiad, oddi ar wregys yr ephod.

21 Rhwymasant hefyd y ddwyfronneg, erbyn ei modrwyau, wrth fodrwyau 'r ephod, â llinyn o *sidan* glas, i fod oddi ar wregys yr ephod, fel na ddattodid y ddwyfronneg oddi wrth yr ephod; megis y gorchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.

22 ¶ Ac efe a wnaeth fantell yr ephod i gŷd o *sidan* glas, yn wauadwaith.

23 A thwll y fantell *oedd* yn ei chanol, fel twll llurig, â gwrŷm o amgylch y twll, rhag ei rhwygo.

24 A gwnaethant ar odrau 'r fantell bomgranadau, o *sidan* glas, porphor, ac ysgarlad, a llïain cyfrodedd.

25 Gwnaethant hefyd e glych o aur pur, e Pen. 28. 33.
ac a roddasant y clych rhwng y pomgranadau, ar odre 'r fantell, o amgylch, ym mysg y pomgranadau,

26 Cloch a phomgranad, a chloch a phomgranad, ar odre 'r fantell o amgylch, i weini *ynddynt*; megis y gorchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.

27 ¶ A hwy a wnaethant beisiau o lïain main, o wauadwaith, i Aaron ac i'w feibion.

28 A meitr o lïain main, a chapiau hardd
o lïain main, a f llodrau llïain o lïain main f Pen. 28. 42.
cyfrodedd,

29 A gwregys o lïain main cyfrodedd, ac o *sidan* glas, porphor, ac ysgarlad, o waith edau a nodwydd; fel y gorchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.

30 ¶ Gwnaethant hefyd dalaith y goron sanctaidd o aur pur; ac a 'sgrifenasant
arni ysgrifen, fel naddiad sel: g SANCT- g Pen. 28. 36.
EIDDRWYDD I'R ARGLWYDD.

31 A rhoddasant wrthi linyn o *sidan* glas, i'w dal hi i fynu ar y meitr; fel y gorchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.

32 ¶ Felly y gorphenwyd holl waith y tabernacl, *sef* pabell y cyfarfod: a meibion Israel a wnaethant yn ol yr hyn oll a orchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses; felly y gwnaethant.

33 ¶ Dygasant hefyd y tabernacl at Moses, y babell a'i holl ddodrefn, ei bachau, ei hystyllod, ei barrau, a'i cholofnau, a'i morteisiau,

34 A'r to o grwyn hyrddod wedi eu lliwo

yn gochion, a'r to o grwyn daearfoch, a'r
llenn wahan yr hon oedd yn gorchuddio;
35 Arch y dystiolaeth, a'i throsolion, a'r
drugareddfa;
36 Y bwrdd hefyd, a'i holl lestri, a'r bara
dangos;
37 Y canhwyllbren pur, a'i lampau, a'r
lampau i'w gosod mewn trefn, ei holl lestri,
ac olew i'r goleuni;
38 A'r allor aur, ac olew'r enneiniad, a'r
arogl-darth llysieuog, a chaeadlen drws y
babell;
39 Yr allor bres, a'r alch bres yr hon
*oedd* iddi, ei throsolion, a'i holl lestri; y
noe a'i throed;
40 Llenni 'r cynteddfa, ei golofnau, a'i
forteisiau, a chaeadlen porth y cynteddfa,
ei rhaffau a'i hoelion, a holl ddodrefn gwa-
sanaeth y tabernacl, *sef* pabell y cyfarfod;
41 Gwisgoedd y weinidogaeth i weini yn
y cyssegr, sanctaidd wisgoedd Aaron yr
offeiriad, a gwisgoedd ei feibion ef i offei-
riadu.
42 Yn ol yr hyn oll a orchymynasai 'r
ARGLWYDD wrth Moses, felly y gwnaeth
meibion Israel yr holl waith.
43 A Moses a edrychodd ar yr holl waith;
ac wele hwy a'i gwnaethant megis y gor-
chymynasai 'r ARGLWYDD, felly y gwnaeth-
ent · a Moses a'u bendithiodd hwynt.

## PEN. XL.

1 *Gorchymyn codi'r tabernacl,* 9 *a'i enneinio;*
13 *a sancteiddio Aaron a'i feibion.* 16 *Mo-
ses yn gwneuthur fel y gorchymynasid iddo.*
34 *Cwmmwl yn gorchuddio 'r babell.*

1490. A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses,
gan ddywedyd,
2 Yn y mis cyntaf, ar y *dydd* cyntaf o'r
mis, y cyfodi 'r tabernacl, pabell y cyfarfod.
3 A gosod yno arch y dystiolaeth; a gor-
chuddia 'r arch â'r wahanlen.
a Pen. 26. 35. 4 [a] Dwg i mewn hefyd y bwrdd, a threfna
† ef yn drefnus: dwg i mewn hefyd y can-
† Heb. *ei drefn ef.* hwyllbren, a golcua ei lampau ef.
5 Gosod hefyd allor aur yr arogl-darth
ger bron arch y dystiolaeth; a gosod gaead-
len drws y tabernacl.
6 Dod hefyd allor y poeth-offrwm o flaen
drws tabernacl pabell y cyfarfod.
b Pen. 30. 18. 7 [b] Dod hefyd y noe rhwng pabell y cy-
farfod a'r allor, a dod ynddi ddwfr.
8 A gosod hefyd y cynteddfa oddi am-
gylch; a dod gaeadlen *ar* borth y cynteddfa.
9 A chymmer olew 'r enneiniad, ac
c Pen. 30. 26. [c] enneinia 'r tabernacl, a'r hyn oll *sydd*
ynddo, a chyssegra ef a'i holl lestri; a
sanctaidd fydd.
10 Enneinia hefyd allor y poeth-offrwm,
d Pen. 29. 36, 37. a'i holl lestri; a'r allor a gyssegri: a [d] hi a
fydd yn allor sancteiddiolaf.
11 Enneinia 'r noe a'i throed, a sancteid-
dia hi.
12 A dwg Aaron a'i feibion i ddrws pa-
bell y cyfarfod, a golch hwynt â dwfr.
13 A gwisg am Aaron y gwisgoedd sanct-
aidd; ac enneinia ef, a sancteiddia ef, i
offeiriadu i mi.
14 Dwg hefyd ei feibion ef, a gwisg
hwynt â pheisiau.
15 Ac enneinia hwynt, megis yr enneini-
aist eu tad hwynt, i offeiriadu i mi: felly
bydd eu henneiniad iddynt yn offeiriadaeth
dragywyddol, trwy eu cenhedlaethau.
16 Felly Moses a wnaeth yn ol yr hyn
oll a orchymynodd yr ARGLWYDD iddo;
felly y gwnaeth efe.
17 ¶ Felly yn y mis cyntaf o'r ail flwydd-
yn, ar y *dydd* cyntaf o'r mis, [e] y codwyd y e Num. 7. 1.
tabernacl.
18 A Moses a gododd y tabernacl, ac a
sicrhaodd ei forteisiau, ac a osododd i fynu
ei ystyllod, ac a roddes i mewn ei farrau,
ac a gododd ei golofnau;
19 Ac a ledodd y babell-lenn ar y taber-
nacl, ac a osododd do 'r babell-lenn arni oddi
arnodd; fel y gorchymynasai 'r ARGLWYDD
wrth Moses.
20 ¶ Cymmerodd hefyd a rhoddodd [f] y f Pen. 25. 16.
dystiolaeth yn yr arch, a gosododd y troso-
lion wrth yr arch, ac a roddodd y druga-
reddfa i fynu ar yr arch.
21 Ac efe a ddug yr arch i 'r tabernacl,
ac [g] a osododd y wahanlen orchudd, i or- g Pen. 35. 12.
chuddio arch y dystiolaeth; megis y gorchy-
mynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.
22 ¶ Ac efe a roddodd y bwrdd o fewn
pabell y cyfarfod, ar ystlys y tabernacl, o
du 'r gogledd, o'r tu allan i 'r wahanlen.
23 Ac efe a drefnodd yn drefnus arno
ef y bara, ger bron yr ARGLWYDD; fel
y gorchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.
24 ¶ Ac efe a osododd y canhwyllbren o
fewn pabell y cyfarfod, ar gyfer y bwrdd,
ar ystlys y tabernacl, o du 'r dehau.
25 Ac efe a oleuodd y lampau ger bron
yr ARGLWYDD; fel y gorchymynasai 'r
ARGLWYDD wrth Moses.
26 ¶ Efe a osododd hefyd yr allor aur yn
mhabell y cyfarfod, o flaen y wahanlen.
27 Ac a arogl-darthodd arni arogl-darth
peraidd; megis y gorchymynasai 'r AR-
GLWYDD wrth Moses.
28 ¶ Ac efe a osododd y gaeadlen *ar*
ddrws y tabernacl.
29 Ac efe a osododd allor y poeth-offrwm
*wrth* ddrws tabernacl pabell y cyfarfod; ac
a offrymmodd arni boeth-offrwm a bwyd-
offrwm; [h] fel y gorchymynasai 'r AR- h Pen. 30. 9.
GLWYDD wrth Moses.
30 ¶ Efe a osododd y noe hefyd rhwng
pabell y cyfarfod a'r allor, ac a roddodd yno
ddwfr i ymolchi.
31 A Moses, ac Aaron, a'i feibion, a ol-
chasant yno eu dwylaw a'u traed.
32 Pan elent i babell y cyfarfod, a phan
nesâent at yr allor, yr ymolchent; [i] fel y i Pen. 30. 19.
gorchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.
33 Ac efe a gododd y cynteddfa o am-
gylch y tabernacl a'r allor, ac a roddodd
gaeadlen *ar* borth y cynteddfa. Felly y
gorphenodd Moses y gwaith.
34 ¶ [k] Yna cwmmwl a orchuddiodd ba- k Lef. 16. 2.
bell y cyfarfod; a gogoniant yr ARGLWYDD Num. 9. 15.
a lanwodd y tabernacl. 1 Bren. 8. 10.
35 Ac ni allai Moses fyned i babell y 2 Chron. 5. 13. a 7. 2.
cyfarfod; am fod y cwmmwl yn aros arni, Esay 6. 4.
a gogoniant yr ARGLWYDD yn llenwi 'r Dat. 15. 8.
tabernacl.
36 A phan gyfodai 'r cwmmwl oddi ar y
tabernacl, ‡ y cychwynai meibion Israel ‡ *yr ymdeithiai.*
i'w holl deithiau.
37 Ac oni chyfodai 'r cwmmwl, yna ni
chychwynent hwy hyd y dydd y cyfodai.
38 Canys [l] cwmmwl yr ARGLWYDD l Pen. 13. 21.
*ydoedd* ar y tabernacl y dydd, a thân ydoedd
arno y nos, yngolwg holl dŷ Israel, yn eu
holl deithiau hwynt.

# ¶ Trydydd Llyfr MOSES, yr hwn a elwir LEFITICUS.

## PEN. I.

1 *Trefn y poeth-offrymmau,* 3 *o eidionau,* 10 *o ddefaid, neu eifr,* 14 *ac o adar.*

Cyn A'R ARGLWYDD a alwodd ar Moses, ac
Crist a lefarodd wrtho o babell y cyfarfod,
1490. gan ddywedyd,
2 Llefara wrth feibion Israel, a dywed
[a] Pen. 22. wrthynt, [a] Pan ddygo dyn o honoch offrwm
18. i'r ARGLWYDD, o anifail, *sef* o'r eidionau,
neu o'r praidd, yr offrymmwch eich offrwm.
3 Os poeth-offrwm o eidion *fydd* ei off-
rwm ef, offrymmed ef yn wrryw perffeith-
gwbl; a dyged ef o'i ewyllys ei hun i ddrws
pabell y cyfarfod, ger bron yr ARGLWYDD.
[b] Exod. 29. 4 [b] A gosoded ei law ar ben y poeth-
10, 15. offrwm; ac fe a'i cymmerir ef yn gymmer-
Pen. 4. 15. adwy ganddo, i wneuthur cymmod drosto.
5 Lladded hefyd yr eidion ger bron yr
ARGLWYDD; a dyged meibion Aaron yr
offeiriaid y gwaed, a thaenellant y gwaed o
amgylch ar yr allor, yr hon *sydd wrth* ddrws
pabell y cyfarfod.
6 A blinged y poeth-offrwm, a thorred ef
yn ei ddarnau.
7 A rhodded meibion Aaron yr offeiriad
dân ar yr allor, a gosodant goed mewn
trefn ar y tân.
8 A gosoded meibion Aaron yr offeiriaid
y darnau, y pen, a'r brasder, mewn trefn
ar y coed *a fyddant* ar y tân *sydd* ar yr allor.
9 Ond ei berfedd, a'i draed, a ylch efe
mewn dwfr: a'r offeiriad a lysg y cwbl ar
yr allor, yn boeth-offrwm, yn aberth tan-
llyd, o arogl peraidd i'r ARGLWYDD.
10 ¶ Ac os o'r praidd, *sef* o'r defaid, neu
o'r geifr, *yr offrymma efe* boeth-offrwm;
offrymmed ef yn wrryw perffeith-gwbl.
11 A lladded ef ger bron yr ARGLWYDD,
o du 'r gogledd i'r allor; a thaenelled mei-
bion Aaron yr offeiriaid ei waed ef ar yr
allor o amgylch.
12 A thorred ef yn ei ddarnau, gyd â'i
ben a'i frasder; a gosoded yr offeiriad hwynt
ar y coed *a fyddant* ar y tân *sydd* ar yr allor.
13 Ond golched y perfedd a'r traed mewn
dwfr: a dyged yr offeiriad y cwbl, a llosged
ar yr allor. Hwn *sydd* boeth-offrwm, aberth
tanllyd, o arogl peraidd i'r ARGLWYDD.
14 ¶ Ac os poeth-offrwm o aderyn *fydd*
ei offrwm ef i'r ARGLWYDD; yna dyged
[c] Pen. 5. 7. ei offrwm [c] o durturau, neu o gywion co-
lommennod.
15 A dyged yr offeiriad ef at yr allor, a
thorred ei ben ef, a llosged ef ar yr allor; a
gwasger ei waed ef ar ystlys yr allor.
16 A thynned ymaith ei grombil ef
† Neu, ynghŷd â'i † blu, a bwried hwynt ger llaw'r
*aflendid* allor, o du 'r dwyrain, i'r lle *y byddo* 'r lludw.
[d] Gen. 15. 17 Hollted ef, â'i esgyll hefyd; *etto* [d] na
10. wahaned *ef*: a llosged yr offeiriad ef ar yr
allor, ar y coed *a fyddant* ar y tân. Dyma
boeth-offrwm, aberth tanllyd, o arogl per-
aidd i'r ARGLWYDD.

## PEN. II.

1 *Y bwyd-offrwm tanllyd gyd ag olew ac arogl-darth;* 4 *naill ai wedi ei bobi mewn ffwrn,* 5 *ai ar radell,* 7 *ai mewn padell ffrio:* 12 *neu o'r blaen-ffrwyth yn y dywysen.* 13 *Halen y bwyd-offrwm.*

1490. PAN offrymmo dyn [a] fwyd-offrwm i'r
[a] Pen. 6. ARGLWYDD, bydded ei offrwm ef o
14. a 9. 17. beilliaid; a thywallted olew arno, a rhodded
Num. 15. 4. thus arno.
2 A dyged ef at feibion Aaron yr offei-
riaid: a chymmered efe oddi yno lonaid ei
law o'i beilliaid, ac o'i olew, ynghŷd â'i holl
thus; a llosged yr offeiriad ei goffadwriaeth
ar yr allor, yn offrwm tanllyd o arogl per-
aidd i'r ARGLWYDD.
3 A *bydded* [b] gweddill y bwyd-offrwm i [b] Pen. 7. 6.
Aaron ac i'w feibion: [c] sancteiddbeth o a 10. 12.
danllyd offrymmau 'r ARGLWYDD *ydyw*. Ecci. 7. 31.
4 ¶ Hefyd pan offrymmech fwyd- [c] Num. 18.
offrwm, wedi ei bobi *mewn* ffwrn, teisen 9.
beilliaid groyw, wedi ei chymmysgu trwy
olew, neu afrllad croyw wedi eu henneinio
ag olew, a fydd.
5 ¶ Ond os bwyd-offrwm ar radell *fydd*
dy offrwm di, bydded o beilliaid wedi ei
gymmysgu yn groyw trwy olew.
6 Torr ef yn ddarnau, a thywallt arno
olew: bwyd-offrwm *yw*.
7 ¶ Ac os bwyd-offrwm padell *fydd* dy
offrwm, gwneler o beilliaid trwy olew.
8 A dwg i'r ARGLWYDD y bwyd-offrwm,
yr hwn a wnair o'r rhai hyn: ac wedi
y dyger at yr offeiriad, dyged yntau ef at
yr allor.
9 A codded yr offeiriad ei [d] goffadwri- [d] Ad. 2.
aeth o'r bwyd-offrwm, a llosged ef ar yr
allor; [e] yn offrwm tanllyd, o arogl peraidd [e] Exod. 29.
i'r ARGLWYDD. 18.
10 A *bydded* i Aaron ac i'w feibion weddill
y bwyd-offrwm: sancteiddbeth o danllyd
offrymmau 'r ARGLWYDD *ydyw*.
11 Na wneler [f] yn lefeinllyd ddim bwyd- [f] Edrych
offrwm a offrymmoch i'r ARGLWYDD: Mat. 16. 12.
canys dim surdoes, na mel, ni losgwch yn Marc 8. 15.
offrwm tanllyd i'r ARGLWYDD. Luc 12. 1.
1 Cor. 5. 8.
12 ¶ Offrymmwch i'r ARGLWYDD off- Gal. 5. 9.
rwm y blaen-ffrwyth; ond na † losger † Heb.
hwynt ar yr allor yn arogl peraidd. *ddyrchafer.*
13 [g] Dy holl fwyd-offrwm hefyd a helli [g] Marc 9.
di â halen; ac na phalled halen cyfammod 49.
dy DDUW o fod ar dy fwyd-offrwm: off-
rymma halen ar bob offrwm it'.
14 Ac os offrymmi i'r ARGLWYDD fwyd-
offrwm y ffrwythau cyntaf; tywysenau irion
wedi eu crasu wrth y tân, *sef* ŷd a gurir
allan o'r dywysen lawn, a offrymmi di yn
fwyd-offrwm dy ffrwythau cyntaf.
15 A dod olew arno, a gosod thus arno:
bwyd-offrwm *yw*.
16 A llosged yr offeiriad ei goffadwriaeth
ef o'i ŷd wedi ei guro allan, ac o'i olew,
ynghŷd â'i holl thus: offrwm tanllyd i'r
ARGLWYDD *yw*.

## PEN. III.

1 *Yr aberth hedd o eidion,* 6 *o'r praidd;* 7 *naill ai oen,* 12 *ai gafr.*

AC os [a] aberth hedd *fydd* ei offrwm ef, 1490.
pan offrymmo efe eidion, offrymmed [a] Pen. 7.
ef ger bron yr ARGLWYDD yn berffeith- 11, 29. a 22.
gwbl; pa un bynnag ai yn wrryw ai yn 18, 21.
fanyw.
2 A [b] rhodded ei law ar ben ei offrwm, [b] Exod. 29.
a lladded ef *wrth* ddrws pabell y cyfarfod: 10.
a thaenelled meibion Aaron yr offeiriaid y
gwaed ar yr allor o amgylch.
3 Ac offrymmed o'r aberth hedd aberth
tanllyd i'r ARGLWYDD; *sef* [c] y weren fôl, [c] Exod. 29.
a'r holl wer a fydd ar y perfedd; 10.
4 A'r ddwy aren, a'r gwer *a fyddo* arnynt
hyd y tenewyn, a'r † rhwyden hefyd *a fydd* † Neu,
oddi ar yr afu a dynn efe ymaith, ynghŷd *llieingig.*
â'r arennau.

[d] Pen. 6. 5 A [d] llosged meibion Aaron hynny ar yr
12. allor, ynghŷd â'r offrwm poeth *sydd* ar y
coed *a fyddant* ar y tân, yn aberth tanllyd,
o arogl peraidd i'r ARGLWYDD.
6 ¶ Ac os o'r praidd y *bydd* yr hyn a off-
rymmo efe yn hedd-aberth i'r ARGLWYDD,
offrymmed ef yn wrryw neu yn fanyw per-
ffeith-gwbl.
7 Os oen a offrymma efe yn ei offrwm;
yna dyged ger bron yr ARGLWYDD.
8 A gosoded ei law ar ben ei offrwm, a
lladded ef o flaen pabell y cyfarfod; a
thaenelled meibion Aaron ei waed ef ar yr
allor oddi amgylch.
9 Ac offrymmed o'r aberth hedd yn
aberth tanllyd i'r ARGLWYDD; ei weren,
a'r gloren i gŷd: torred hi ymaith wrth
asgwrn y cefn, ynghŷd â'r weren fôl, a'r
holl wer *a fyddo* ar y perfedd.
10 A'r ddwy aren, a'r gwer *a fyddo* arnynt,
hyd y tenewyn, a'r rhwyden oddi ar yr afu,
ynghŷd â'r arennau, a dynn efe ymaith.
11 A llosged yr offeiriad hyn ar yr allor:
[e] Edrych [e] bwyd-aberth tanllyd i'r ARGLWYDD
Pen. 21. 6, *ydyw.*
7. 8, 21,
22. a 22. 25. 12 ¶ Ac os gafr *fydd* ei offrwm ef; dyged
Ezec. 44. hi ger bron yr ARGLWYDD.
7. 13 A gosoded ei law ar ei phen, a lladded
Mal. 1. 7, hi o flaen pabell y cyfarfod; a thaenelled
12. meibion Aaron ei gwaed hi ar yr allor o
amgylch.
14 Ac offrymmed o hynny ei offrwm o
aberth tanllyd i'r ARGLWYDD; sef y weren
fôl, a'r holl wer *a fyddo* ar y perfedd.
15 A'r ddwy aren, a'r gwer *a fyddo* ar-
[f] Pen. 7. 23, nynt, hyd y tenewyn, a'r rhwyden oddi
25. ar yr afu, ynghŷd â'r arennau, a dynn efe
[g] Gen. 9. 4. ymaith.
Pen. 7. 23, 16 A llosged yr offeiriad hwynt ar yr
26. a 17. 10, allor: bwyd-aberth tanllyd o arogl per-
14. aidd *ydyw.* [f] Yr holl wer *sydd eiddo* 'r AR-
Deut. 12. GLWYDD.
16.
1 Sam. 14. 17 Deddf dragywyddol trwy eich cen-
33. hedlaethau, yn eich holl anneddau, *yw*; na
Ezec. 44. fwyttaoch ddim gwer, na dim [g] gwaed.
7.

## PEN. IV.

1 *Aberthau dros bechod,* 3 *a wnelai'r offeiriad,*
13 *neu'r holl gynnulleidfa,* 22 *neu y pen-*
*naeth,* 27 *neu'r bobl, mewn anwybod.*

1490. LLEFARODD yr ARGLWYDD hefyd wrth
Moses, gan ddywedyd,
2 Llefara wrth feibion Israel, gan ddy-
[a] Num. 15. wedyd, [a] Pan becho dyn mewn anwybod
22. yn erbyn yr un o orchymynion yr AR-
GLWYDD, a gwneuthur yn erbyn un o
honynt y pethau ni ddylid eu gwneuthur:
3 Os offeiriad enneiniog a becha yn ol pe-
chod y bobl; offrymmed, dros ei bechod a
[b] Pen. 9. wnaeth, [b] fustach ieuangc perffeith-gwbl,
2. yn aberth dros bechod i'r ARGLWYDD.
4 A dyged y bustach i ddrws pabell y cyf-
arfod, ger bron yr ARGLWYDD, a gosoded
ei law ar ben y bustach, a lladded y bustach
ger bron yr ARGLWYDD.
[c] Pen. 16. 5 A [c] chymmered yr offeiriad enneiniog
14. o waed y bustach, a dyged ef i babell y cyf-
Num. 19. arfod.
4.
6 A throched yr offeiriad ei fys yn y
gwaed, a thaenelled o'r gwaed ger bron yr
ARGLWYDD seithwaith, o flaen gwahanlen
y cyssegr.
7 A gosoded yr offeiriad *beth* o'r gwaed
ger bron yr ARGLWYDD ar gyrn allor
yr arogl-darth peraidd, yr hon *sydd* ym
[d] Pen. 5. 9. mhabell y cyfarfod; a thywallted [d] holl
waed *arall* y bustach wrth droed allor y
poeth-offrwm, yr hon *sydd wrth* ddrws
pabell y cyfarfod.
8 A thynned holl wer bustach yr aberth
dros bechod oddi wrtho; y weren fôl, a'r
holl wer *fyddo* ar y perfedd.
9 A'r ddwy aren, a'r gwer *a fyddo* arnynt,
hyd y tenewyn, a'r rhwyden oddi ar yr afu,
a dynn efe ymaith, ynghŷd â'r arennau;
10 [e] Megis y tynnodd o fustach yr aberth [e] Pen. 3. 3
hedd: a llosged yr offeiriad hwynt ar allor
y poeth-offrwm.
11 [f] Ond croen y bustach, a'i holl gig, [f] Exod. 29.
ynghŷd â'i ben, a'i draed, a'i berfedd, a'i 14.
fiswail, Num. 19.
5.
12 A'r holl fustach hefyd, a ddwg efe allan
i'r tu allan i'r gwersyll, i le glân, [g] wrth dy- [g] Pen. 6.
walltfa'r lludw; ac [h] a'i llysg ar goed yn 11.
tân: wrth dywalltfa 'r lludw y llosgir ef. [h] Heb. 13.
13 ¶ Ac [i] os holl gynnulleidfa Israel a 11.
becha mewn anwybod, [k] a'r peth yn gudd- [i] Num. 15.
iedig o olwg y gynnulleidfa, a gwneuthur o 24.
honynt yn erbyn yr un o orchymynion yr [k] Pen. 5.
ARGLWYDD, ddim o'r hyn ni ddylid eu 2, 3, 4.
gwneuthur, a myned yn euog:
14 Pan wypir y pechod y pechasant yn-
ddo; yna offrymmed y gynnulleidfa fustach
ieuangc dros y pechod, a dygant ef o flaen
pabell y cyfarfod.
15 A gosoded henuriaid y gynnulleidfa
eu dwylaw ar ben y bustach ger bron yr
ARGLWYDD, a lladdant y bustach ger bron
yr ARGLWYDD.
16 A dyged yr offeiriad enneiniog o waed
y bustach i babell y cyfarfod.
17 A throched yr offeiriad ei fys yn y
gwaed, a thaenelled ger bron yr AR-
GLWYDD seithwaith, o flaen y wahanlen.
18 A gosoded o'r gwaed ar gyrn yr allor
*sydd* ger bron yr ARGLWYDD, *sef* yr hon
*sydd* ym mhabell y cyfarfod; a thywallted yr
holl waed *arall* wrth waelod allor y poeth-
offrwm, yr hon sydd wrth ddrws pabell y
cyfarfod.
19 A thynned ei holl wer allan o hono, a
llosged ar yr allor.
20 A gwnaed i'r bustach hwn megis y
gwnaeth [l] i fustach y pech-aberth; felly [l] Ad. 3.
gwnaed iddo: a'r offeiriad a wna gymmod
drostynt; ac fe a faddeuir iddynt.
21 A dyged y bustach allan i'r tu allan i'r
gwersyll, a llosged ef fel y llosgodd y bustach
cyntaf. Dyma aberth dros bechod y gyn-
nulleidfa.
22 ¶ Os pecha pennaeth, a gwneuthur
mewn anwybod yn erbyn yr un o orchy-
mynion yr ARGLWYDD ei DDUW, ddim
o'r hyn ni ddylid eu gwneuthur, a bod yn
euog;
23 Neu os daw i wybod ei fai yr hwn a
wnaeth: dyged ei offrwm o lwdn gafr
gwrryw perffeith-gwbl.
24 A gosoded ei law ar ben y llwdn, a
lladded ef yn y lle *y lleddir* y poeth-offrwm,
ger bron yr ARGLWYDD. Dyma aberth
dros bechod.
25 A chymmered yr offeiriad o waed yr
aberth dros bechod â'i fys, a gosoded ar
gyrn allor y poeth-offrwm, a thywallted ei
waed ef wrth waelod allor y poeth-offrwm.
26 A llosged ei holl wer ar yr allor, fel [m] Pen. 3. 5
[m] gwer yr aberth hedd: a gwnaed yr offei- [n] Num. 15.
riad gymmod drosto am ei bechod; a ma- 27.
ddeuir iddo. † Heb. *un enaid.*
27 ¶ Ac [n] os pecha † neb ‡ o bobl y wlad ‡ *o'r*
mewn anwybod, gan wneuthur yn erbyn *gwerin.*

yr un o orchymynion yr ARGLWYDD,
ddim o'r *pethau* ni ddylid eu gwneuthur, a
bod yn euog;
28 Neu os ei bechod yr hwn a bechodd
a ddaw i'w wybodaeth ef: yna dyged ei
offrwm o lwdn gafr fanyw berffeith-gwbl
dros ei bechod a bechodd efe.
29 A gosoded ei law ar ben yr aberth
dros bechod, a lladded yr aberth dros be-
chod yn y lle *y lleddir* y poeth-offrwm.
30 A chymmered yr offeiriad o'i gwaed
hi â'i fys, a rhodded ar gyrn allor y poeth-
offrwm, a thywallted ei holl waed hi, wrth
waelod yr allor.
[o] Pen. 3. 31 A [o] thynned ei holl wer hi, [p] fel y
14. tynnir y gwer oddi ar yr aberth hedd; a
[p] Pen. 3. 3. llosged yr offeiriad *ef* ar yr allor, [q] yn arogl
[q] Exod. 29. peraidd i'r ARGLWYDD: a gwnaed yr
18. offeiriad gymmod drosto; a maddeuir iddo.
32 Ac os dwg efe ei offrwm dros bechod
o oen, dyged hi'n fanyw berffeith-gwbl.
33 A gosoded ei law ar ben yr aberth dros
bechod, a lladded hi dros bechod yn y lle y
lleddir y poeth-offrwm.
34 A chymmered yr offeiriad â'i fys o
waed yr aberth dros bechod, a gosoded ar
gyrn allor y poeth-offrwm, a thywallted ei
holl waed hi wrth waelod yr allor.
35 A thynned ei holl wer hi, fel y tynnir
gwer oen yr aberth hedd; a llosged yr offei-
[r] Pen. 3. 5. riad hwynt ar yr allor, [r] fel aberth tanllyd
i'r ARGLWYDD: a gwnaed yr offeiriad
gymmod drosto am ei bechod yr hwn a
bechodd; a maddeuir iddo.

## PEN. V.

1 *Y neb a bechodd trwy gelu'r hyn a wypo,*
*2 trwy gyffwrdd â dim aflan, 4 neu trwy*
*lw. 6 Ei offrwm dros ei gamwedd, o'r*
*praidd, 7 o'r adar, 11 o beilliaid. 14 Yr*
*offrwm dros gamwedd mewn cyssegr-ladrad,*
*17 ac mewn pechodau o anwybod.*

1490. OS pecha dyn, a chlywed llais llw, ac
yntau yn dyst, naill ai'n gweled ai'n
gwybod; oni fynega, yna efe a ddwg ei an-
wiredd.
[a] Pen. 11. 2 [a] Os dyn a gyffwrdd â dim aflan, pa
24, 28, 31, un bynnag ai burgyn bwystfil aflan, ai
39. burgyn anifail aflan, ai burgyn ymlusgiad
aflan; er *bod y peth* yn guddiedig oddi wrtho
ef, aflan ac euog yw efe.
[b] Pen. 12, 3 Neu pan gyffyrddo [b] ag aflendid dyn,
a 13, a 15. pa aflendid bynnag iddo, yr hwn y bydd
efe aflan o'i blegid, a'r *peth* yn guddied-
ig rhagddo; pan gaffo wybod, yna euog
yw.
4 Neu os dyn a dwng, gan draethu â'r
[c] Edrych gwefusau ar [c] wneuthur drwg, neu [d] wneu-
1 Sam. 25. thur da; beth bynnag a draetho dyn trwy
22. Act. 23. 12. lw, a'r *peth* yn guddiedig rhagddo; pan
[d] Edrych gaffo efe wybod, euog yw o un o hyn.
Mar. 6. 23. 5 A phan fyddo efe euog o un o hyn; yna
[e] Num. 5. [e] cyffesed yr hyn y pechodd ynddo:
7. 6 A dyged i'r ARGLWYDD ei offrwm
dros gamwedd am ei bechod yr hwn a
bechodd; *sef* banyw o'r praidd, oen neu
fynn gafr, yn aberth dros bechod; a
gwnaed yr offeiriad gymmod drosto am ei
bechod.
[f] Pen. 12. 7 Ond [f] os ei law ni chyrraedd werth
8. a 14. 21. oen; dyged i'r ARGLWYDD, am ei gam-
[g] Pen. 1. wedd yr hwn a bechodd, ddwy [g] durtur,
14. neu ddau gyw colommen; y naill yn aberth
dros bechod, a'r llall yn boeth-offrwm.
8 A dyged hwynt at yr offeiriad; ac
offrymmed efe yr hwn *sydd* dros bechod
yn gyntaf, [h] a thorred ei ben wrth ei wegil; [h] Pen. 1.
ond na thorred ef ymaith. 15.
9 A thaenelled o waed yr aberth dros be-
chod ar ystlys yr allor: a [i] gwasger y rhan [i] Pen. 4. 7,
arall o'r gwaed wrth waelod yr allor. Dyma 18, 30, 34.
aberth dros bechod.
10 A'r ail a wna efe yn offrwm poeth, yn
ol [k] y ddefod: a'r offeiriad a wna gymmod [k] Pen. 1.
drosto am ei bechod yr hwn a bechodd; a 14.
maddeuir iddo.
11 ¶ Ac os ei law ni chyrraedd ddwy
durtur, neu ddau gyw colommen; yna dyged
yr hwn a bechodd ei offrwm o ddegfed ran
ephah o beilliaid yn aberth dros bechod:
[l] na osoded olew ynddo, ac na rodded thus [l] Num. 5.
arno; canys aberth dros bechod *yw*. 15.
12 A dyged hynny at yr offeiriad: a
chymmered yr offeiriad o hono lonaid ei
law [m] yn goffadwriaeth, a llosged ar yr [m] Pen. 2.
allor, [n] fel ebyrth tanllyd i'r ARGLWYDD. 2.
Dyma aberth dros bechod. [n] Pen. 4.
13 A gwnaed yr offeiriad gymmod 35.
drosto ef am ei bechod a bechodd efe yn
un o'r rhai hyn; a maddeuir iddo: [o] a [o] Pen. 2. 3.
bydded i'r offeiriad y gweddill, megis *o'r*
bwyd-offrwm.
14 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, gan ddywedyd,
15 [p] Os gwna dyn gamwedd, a phechu [p] Pen. 22.
trwy amryfusedd, yn y pethau a gyssegr- 14.
wyd i'r ARGLWYDD; yna dyged i'r AR-
GLWYDD dros ei gamwedd, hwrdd per-
ffeith-gwbl o'r praidd, gyd â'th bris di o
siclau arian, yn ol [q] sicl y cyssegr, yn aberth [q] Exod. 30.
dros gamwedd. 13.
16 A thaled am y niweid a wnaeth *yn* y
peth cyssegredig, a [r] rhodded ei bummed [r] Pen. 22.
ran yn ychwaneg atto, a rhodded ef at yr 14. a 27. 13,
offeiriad: a gwnaed yr offeiriad gymmod 15, 27. Num. 5. 7.
drosto â hwrdd yr offrwm dros gamwedd; a
maddeuir iddo.
17 ¶ Ac os pecha [s] enaid, a gwneuthur [s] Pen. 4. 2.
*yn erbyn* gorchymynion yr ARGLWYDD,
ddim o'r hyn ni ddylid eu gwneuthur; er
na wyddai, etto euog fydd, a'i anwiredd a
ddwg.
18 A dyged hwrdd perffeith-gwbl o'r
praidd, gyd â'th bris di, at yr offeiriad,
yn offrwm dros gamwedd: a gwnaed yr
offeiriad gymmod drosto am ei amryfus-
edd a gam-gymmerodd efe, ac yntau heb
wybod; a maddeuir iddo.
19 Aberth dros gamwedd *yw* hyn: cam-
wedd a wnaeth yn ddiau yn erbyn yr AR-
GLWYDD.

## PEN. VI.

1 *Yr offrwm dros gamwedd mewn pechodau*
*a wneler trwy wybod. 8 Cyfraith y poeth-*
*offrwm, 14 a'r bwyd-offrwm. 19 Yr*
*offrwm wrth gyssegru offeiriad. 24 Cyfraith*
*y pech-offrwm.*

A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, 1490.
gan ddywedyd,
2 [a] Os pecha dyn, a gwneuthur camwedd [a] Num. 5.
yn erbyn yr ARGLWYDD, a dywedyd 6.
celwydd wrth ei gymmydog am yr hyn a
rodded atto i'w gadw, neu am yr hyn y
rhoddes efe ei law, neu yn yr hyn trwy
drawsder a ddygodd efe, neu yn yr hyn y
twyllodd ei gymmydog;
3 Neu os cafodd beth gwedi ei golli, a
dywedyd celwydd am dano, neu dyngu yn
anudon; am ddim o'r holl bethau a wnelo
dyn, gan bechu ynddynt:
4 Yna, am iddo bechu, a bod yn euog;
bydded iddo roddi yn ei ol y trais a dreisiodd

efe, neu 'r peth a gafodd trwy dwyll, neu 'r peth a adawyd i gadw gyd ag ef, neu 'r peth wedi ei golli a gafodd efe,

5 Neu beth bynnag y tyngodd efe anudon am dano; [b] taled hynny erbyn ei ben, a 'chwaneged ei bummed ran atto: † ar y dydd yr offrymmo dros gamwedd, rhodded ef i'r neb a'i piau.

[b] Pen. 5. 16. † Heb. yn nydd ei gamwedd.

6 A dyged i'r ARGLWYDD ei offrwm dros gamwedd, hwrdd perffeith-gwbl o'r praidd, [c] gyd â'th bris di, yn offrwm dros gamwedd, at yr offeiriad.

[c] Pen. 5. 15.

7 A gwnaed yr offeiriad gymmod drosto ger bron yr ARGLWYDD: a maddeuir iddo, am ba beth bynnag a wnaeth, i fod yn euog o hono.

8 ¶ Llefarodd yr ARGLWYDD hefyd wrth Moses, gan ddywedyd,

9 Gorchymyn i Aaron, ac i'w feibion, gan ddywedyd, Dyma gyfraith y poeth-offrwm: (poeth-offrwm *yw*, o herwydd y llosgi ar yr allor ar hŷd y nos hyd y bore, a thân yr allor a gynneuir arni.)

10 [d] Gwisged yr offeiriad hefyd ei liein-wisg am dano, a gwisged lodrau lliain am ei gnawd, a choded y lludw lle 'r ysodd y tân y poeth-aberth ar yr allor, a gosoded ef [e] ger llaw 'r allor.

[d] Exod. 28. 40, 41, 43. [e] Pen. 1. 16.

11 A diosged ei wisgoedd, a gwisged ddillad eraill, a dyged allan y lludw i'r tu allan i'r gwersyll, [f] i le glân.

[f] Pen. 4. 12.

12 A chynneuer y tân *sydd* ar yr allor arni; na ddiffodded: ond llosged yr offeiriad goed arni bob bore; a threfned y poeth-offrwm arni, a llosged [g] wer yr aberth hedd arni.

[g] Pen. 3. 3, 9, 14.

13 Cynneuer y tân bob amser ar yr allor; na ddiffodded.

14 ¶ [h] Dyma hefyd gyfraith y bwyd-offrwm. Dyged meibion Aaron ef ger bron yr ARGLWYDD, o flaen yr allor:

[h] Pen. 2. 1. Num. 15. 4.

15 A choded o hono yn ei law o beilliaid y bwyd-offrwm, ac o'i olew, a'r holl thus yr hwn *fydd* ar y bwyd-offrwm; a llosged ei [i] goffadwriaeth ef ar yr allor, yn arogl peraidd i'r ARGLWYDD.

[i] Pen. 2. 2, 9.

16 [k] A'r gweddill o hono a fwytty Aaron a'i feibion: yn groyw y bwyttâir ef: [l] yn y lle sanctaidd o fewn cynteddfa pabell y cyfarfod y bwyttânt ef.

[k] Pen. 2. 3. [l] Pen. 10. 12.

17 Na phober ef trwy lefain. [m] Rhoddais ef yn rhan *iddynt* o'm haberthau tanllyd: [n] peth sancteiddiolaf *yw* hyn, megis yr aberth dros bechod, a'r aberth dros gamwedd.

[m] Num. 18. 9, 10. [n] Pen. 2. 3.

18 Pob gwrryw o blant Aaron a fwyttânt hyn: deddf dragywyddol fydd yn eich cenhedlaethau am aberthau tanllyd yr ARGLWYDD: [o] pob un a gyffyrddo â hwynt, fydd sanctaidd.

[o] Exod. 29. 37. Pen. 22. 4, 5, 6.

19 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

20 [p] Dyma offrwm Aaron a'i feibion, yr hwn a offrymmant i'r ARGLWYDD, ar y dydd yr enneinir ef. Degfed ran [q] ephah o beilliaid yn fwyd-offrwm gwastadol, ei hanner y bore, a'i hanner brydnawn.

[p] Exod. 29. 2. [q] Exod. 16. 36.

21 Gwneler ef trwy olew mewn padell: *yna* y dygi ef i mewn wedi ei grasu; ac offrymma ddarnau y bwyd-offrwm wedi ei grasu, yn arogl peraidd i'r ARGLWYDD.

22 A'r offeiriad o'i feibion ef, [r] yr hwn a enneinir yn ei le ef, gwnaed hyn, *trwy* ddeddf dragywyddol: [s] llosger y cwbl i'r ARGLWYDD.

[r] Pen. 4. 3. [s] Exod. 29. 25.

23 A phob bwyd-offrwm dros yr offeiriad a fydd wedi ei losgi oll: na fwyttâer ef.

24 ¶ Llefarodd yr ARGLWYDD hefyd wrth Moses, gan ddywedyd,

25 Llefara wrth Aaron ac wrth ei feibion, gan ddywedyd, [t] Dyma gyfraith yr aberth dros bechod. [u] Yn y lle y lleddir y poeth-offrwm, y lleddir yr aberth dros bechod ger bron yr ARGLWYDD: [x] sancteiddiolaf *yw* efe.

[t] Pen. 4. 2. [u] Pen. 1. 3, 5, 11. a 4. 24, 29, 33. [x] Pen. 21. 22.

26 [y] Yr offeiriad a'i hoffrymmo dros bechod, a'i bwytty: yn y lle sanctaidd y bwyttâir ef, ynghynteddfa pabell y cyfarfod.

[y] Num. 18. 9.

27 Beth bynnag a gyffyrddo â'i gig ef, a fydd sanctaidd: a phan daenneller o'i waed ef ar ddilledyn, golch yn y lle sanctaidd yr hyn y taenellodd *y gwaed* arno.

28 A [z] thorrer y llestr pridd y berwer ef ynddo: ond os mewn llestr prês y berwir ef, ysgwrier a golcher ef mewn dwfr.

[z] Pen. 11, 33.

29 Bwyttâed pob gwrryw ym mysg yr offeiriaid ef: sancteiddiolaf *yw* efe.

30 [a] Ac na fwyttâer un offrwm dros bechod, yr hwn y dyger o'i waed i babell y cyfarfod, i wneuthur cymmod yn y lle sanctaidd; *ond* llosger mewn tân.

[a] Pen. 4. 7, 11, 12, 18, 21. a 16. 27. Heb. 13. 11.

## PEN. VII.

1 *Cyfraith yr offrwm dros gamwedd,* 11 *a'r aberthau hedd;* 12 *pa un bynnag fo ai aberth diolch,* 16 *ai adduned, ai rhodd o wirfodd.* 22 *Gwahardd y brasder,* 26 *a'r gwaed.* 28 *Rhan yr offeiriad o'r aberthau hedd.*

[a] DYMA hefyd gyfraith yr offrwm dros gamwedd: [b] sancteiddiolaf *yw*. 1490.

[a] Pen. 5, 6. [b] Pen. 21. 22.

2 [c] Yn y man lle lladdant y poeth-offrwm, y lladdant yr aberth dros gamwedd; a'i waed a daenella efe ar yr allor o amgylch.

[c] Pen. 1. 3, 5, 11. a 4. 24, 29, 33.

3 A'i [d] holl wer a offrymma efe o hono; y gloren hefyd, a'r weren fôl.

4 A'r ddwy aren, a'r gwer *fyddo* arnynt, hyd y tenewyn, a'r rhwyden oddi ar yr afu, ynghŷd â'r arennau, a dynn efe ymaith.

[d] Exod. 29. 13. Pen. 3. 4, 10. a 4. 8, 9.

5 A llosged yr offeiriad hwynt ar yr allor, yn aberth tanllyd i'r ARGLWYDD: aberth dros gamwedd *yw*.

6 [e] Pob gwrryw ym mysg yr offeiriaid a'i bwytty: yn y lle sanctaidd y bwyttâir ef: sancteiddiolaf *yw*.

[e] Num. 18. 9, 10.

7 Fel *y mae* yr aberth dros bechod, felly *y bydd* [f] yr aberth dros gamwedd; un gyfraith *sydd* iddynt: yr offeiriad, yr hwn a wna gymmod ag ef, a'i piau.

[f] Pen. 6. 26.

8 A'r offeiriad a offrymmo boeth-offrwm neb, yr offeiriad a gaiff iddo ei hun groen y poeth-offrwm a offrymmodd efe.

9 A [g] phob bwyd-offrwm a graser mewn ffwrn, a'r hyn oll a wneler mewn padell, neu ar radell, fydd eiddo 'r offeiriad a'i hoffrymmo.

[g] Pen. 2. 3, 10. Num. 18. 9.

10 A phob bwyd-offrwm wedi ei gymmysgu trwy olew, neu yn sych, a fydd i holl feibion Aaron, bob un fel ei gilydd.

11 [h] Dyma hefyd gyfraith yr ebyrth hedd a offrymma efe i'r ARGLWYDD.

[h] Pen. 3. 1. a 22. 18, 21.

12 Os yn lle diolch yr offrymma efe hyn; offrymmed gyd â'r aberth diolch deisenau croyw, wedi eu cymmysgu trwy olew; ac afrllad croyw, wedi eu hiro ag olew; a pheilliaid wedi ei grasu 'n deisenau, wedi eu cymmysgu ag olew.

13 Heb law y teisenau, offrymmed fara lefeinllyd, *yn* ei offrwm, gyd â'i hedd-aberth o ddiolch.

14 Ac offrymmed o hyn un *dorth* o'r
holl offrwm, yn offrwm dyrchafael i'r Ar-
glwydd; *a* bydded *hwnnw* eiddo'r offei-
riad a daenello waed yr ebyrth hedd.
15 A chig ei hedd-aberth o ddiolch a
fwyttâir y dydd yr offrymmir ef: na adawer
*dim* o hono hyd y bore.
[l] Pen. 19. 16 Ond [l] os adduned, neu offrwm gwir-
7, 8. fodd, fydd aberth ei offrwm ef; y dydd yr
offrymmo efe ei aberth bwyttâer ef: a
thrannoeth bwyttâer yr hyn fyddo yn we-
ddill o hono.
17 Ond yr hyn a fyddo o gig yr aberth
yn weddill y trydydd dydd, llosger yn tân.
18 Ac os bwyttâir dim o gig offrwm ei
ebyrth hedd ef o fewn y trydydd dydd; ni
byddir boddlon i'r hwn a'i hoffrymmo ef,
ac ni's cyfrifir iddo, ffieiddbeth fydd: a'r
dyn a fwytty o hono, a ddwg ei anwiredd.
19 A'r cig a gyffyrddo â dim aflan, ni
fwyttâir; mewn tân y llosgir ef: a'r cig
*arall*, pob glân a fwytty o hono.
20 A'r dyn a fwyttao gig yr hedd-aberth,
[k] Pen. 15. yr hwn *a berthyn* i'r Arglwydd, [k] a'i af-
3. lendid arno; [l] torrir ymaith y dyn hwnnw
[l] Gen. 17. o fysg ei bobl.
14. 21 Ac os dyn a gyffwrdd â dim aflan, *sef*
[m] Pen. 12, ag [m] aflendid dyn, neu ag anifail [n] aflan,
a 13, a 15. neu ag un ffieiddbeth aflan, a bwytta o
[n] Pen. 11. gig yr hedd-aberth, yr hwn *a berthyn* i'r
24, 28. Arglwydd; yna y torrir ymaith y dyn
hwnnw o fysg ei bobl.
22 ¶ Llefarodd yr Arglwydd hefyd
wrth Moses, gan ddywedyd,
23 Llefara wrth feibion Israel, gan ddy-
[o] Pen. 3. wedyd, [o] Na fwyttêwch ddim gwer eidion,
17. neu ddafad, neu afr.
24 Etto gwer burgyn, neu wer ysglyfaeth,
a ellir ei weithio mewn pob gwaith: ond
gan fwytta na fwyttêwch *ef*.
25 O herwydd pwy bynnag a fwyttao wer
yr anifail, o'r hwn yr offrymmir aberth tan-
llyd i'r Arglwydd; torrir ymaith yr enaid
a'i bwyttao o fysg ei bobl.
[p] Gen. 9. 4. 26 [p] Na fwyttêwch chwaith ddim gwaed
Pen. 3. 17. o fewn eich cyfanneddau, o'r eiddo aderyn,
a 17. 14. nac o'r eiddo anifail.
27 Pob enaid a fwyttao ddim gwaed,
torrir ymaith yr enaid hwnnw o fysg ei bobl.
28 ¶ A'r Arglwydd a lefarodd wrth
Moses, gan ddywedyd,
29 Llefara wrth feibion Israel, gan ddy-
wedyd, Y neb a offrymmo ei aberth hedd
i'r Arglwydd, dyged ei rodd o'i aberth
hedd i'r Arglwydd.
[q] Pen. 3. 30 [q] Ei ddwylaw a ddygant ebyrth tan-
3, 4, 9, 14. llyd yr Arglwydd; y gwer ynghŷd â'r
[r] Exod. 29. barwyden a ddwg efe: [r] y barwyden *fydd*
24, 27. i'w chyhwfanu, yn offrwm cyhwfan ger
bron yr Arglwydd.
31 A llosged yr offeiriad y gwer ar yr
allor: a bydded y barwyden i Aaron ac i'w
feibion.
32 Rhoddwch hefyd y balfais ddehau yn
offrwm dyrchafael i'r offeiriad, o'ch ebyrth
hedd.
33 Yr hwn o feibion Aaron a offrymmo
waed yr ebyrth hedd, a'r gwer; bydded
iddo ef yr ysgwyddog ddehau yn rhan.
[s] Exod. 34 O herwydd [s] parwyden y cyhwfan,
29. 28. Pen. 10. 14. ac ysgwyddog y dyrchafael, a gymmerais i
Num. 18. gan feibion Israel o'u hebyrth hedd, ac a'u
18. Deut. 18. 3. rhoddais hwynt i Aaron yr offeiriad, ac
i'w feibion, trwy ddeddf dragywyddol, oddi
wrth feibion Israel.
35 ¶ Hyn yw *rhan* enneiniad Aaron, ac
enneiniad ei feibion, o ebyrth tanllyd yr
Arglwydd, yn y dydd y nesâodd efe
hwynt i offeiriadu i'r Arglwydd;
36 Yr hwn a orchymynodd yr Ar-
glwydd ei roddi iddynt, [t] y dydd yr [t] Exod.
enneiniodd efe hwynt allan o feibion Israel, 40. 13, 15.
*trwy* ddeddf dragywyddol, trwy eu cen- Pen. 8. 12, 30.
hedlaethau.
37 Dyma gyfraith y poeth-offrwm, y
bwyd-offrwm, a'r aberth dros bechod, a'r
aberth dros gamwedd, a'r cyssegriadau,
a'r aberth hedd;
38 Yr hon a orchymynodd yr Ar-
glwydd wrth Moses ym mynydd Sinai, yn
y dydd y gorchymynodd efe i feibion Israel
offrymmu eu hoffrymmau i'r Arglwydd,
yn anialwch Sinai.

## PEN. VIII.

1 *Moses yn cyssegru Aaron a'i feibion.* 14
*Eu haberth dros bechod.* 18 *Eu poeth-*
*offrwm.* 22 *Hwrdd y cyssegriadau.* 31 *Y*
*lle a'r amser y cyssegrid hwynt.*

A Llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, 1490.
gan ddywedyd,
2 [a] Cymmer Aaron a'i feibion gyd ag ef, [a] Exod. 29.
a'r [b] gwisgoedd, ac [c] olew'r enneiniad, a 1.
bustach yr aberth dros bechod, a dau hwrdd, [b] Exod. 28. 2, 4.
a chawell y bara croyw: [c] Exod. 30.
3 A chasgl yr holl gynnulleidfa ynghŷd i 24.
ddrws pabell y cyfarfod.
4 A gwnaeth Moses fel y gorchymynodd
yr Arglwydd iddo: a chasglwyd y gyn-
nulleidfa i ddrws pabell y cyfarfod.
5 A dywedodd Moses wrth y gynnulleid-
fa, [d] Dyma'r peth a orchymynodd yr Ar- [d] Exod. 29.
glwydd ei wneuthur. 4.
6 A Moses a ddug Aaron a'i feibion, ac
a'u golchodd hwynt â dwfr.
7 Ac efe a roddes am dano ef [e] y bais, ac [e] Exod. 28.
a'i gwregysodd ef â'r gwregys, ac a wisgodd 4.
y fantell am dano, ac a roddes yr ephod am
dano, ac a'i gwregysodd â gwregys cywraint
yr ephod, ac a'i caeodd am dano ef.
8 Ac efe a osododd y ddwyfronneg arno,
ac a [f] roddes yr Urim a'r Thummim yn y [f] Exod. 28.
ddwyfronneg. 30.
9 Ac efe a osododd y meitr ar ei ben ef;
ac a osododd ar y meitr, ar ei dalcen ef y
dalaith aur, y goron sanctaidd; fel y [g] gor- [g] Exod. 28.
chymynasai'r Arglwydd i Moses. 37, &c.
10 [h] A Moses a gymmerodd olew'r en- [h] Exod. 30.
neiniad, ac a enneiniodd y tabernacl, a'r 26.
hyn oll *oedd* ynddo; ac a'u cyssegrodd
hwynt.
11 Ac a daenellodd o hono ar yr allor
saith waith, ac a enneiniodd yr allor a'i holl
lestri, a'r noe hefyd a'i throed, i'w cyssegru.
12 Ac efe [i] a dywalltodd o olew'r en- [i] Exod. 29.
neiniad ar ben Aaron, ac a'i henneiniodd 7. a 30. 30. Psalm 133.
ef, i'w gyssegru. 2.
13 [k] A Moses a ddug feibion Aaron, ac a Eccl. 45.
wisgodd beisiau am danynt, a gwregysodd 15.
hwynt â gwregysau, ac a † osododd gapiau [k] Exod. 29. 8.
am eu pennau; fel y gorchymynasai'r † Heb.
Arglwydd wrth Moses. *rwymodd.*
14 [l] Ac efe a ddug fustach yr aberth dros [l] Exod. 29.
bechod: ac Aaron a'i feibion a roddasant 10.
eu dwylaw ar ben bustach yr aberth dros
bechod;
15 Ac efe *a'i* lladdodd: a Moses a gym-
merth y gwaed, ac a'i rhoddes ar gyrn yr
allor o amgylch â'i fys, ac [m] a burodd yr [m] Exod. 29.
allor; ac a dywalltodd y gwaed wrth waelod 36.
yr allor, ac a'i cyssegrodd hi, i wneuthur
cymmod arni.

16 Efe a gymmerodd hefyd yr holl wer
*oedd* ar y perfedd, a'r rhwyden oddi ar yr
afu, a'r ddwy aren a'u gwer; a Moses a'i
llosgodd ar yr allor.
17 A'r bustach, a'i groen, a'i gig, a'i fis-
wail, a losgodd efe mewn tân o'r tu allan
n Exod. 29. 14. Pen. 4. 11. i'r gwersyll; fel [n] y gorchymynasai 'r Ar-
glwydd wrth Moses.
o Exod. 29. 15. 18 ¶ [o] Ac efe a ddug hwrdd y poeth-
offrwm: ac Aaron a'i feibion a osodasant
eu dwylaw ar ben yr hwrdd.
19 Ac efe a'i lladdodd; a Moses a daen-
ellodd y gwaed ar yr allor o amgylch.
20 Ac efe a dorrodd yr hwrdd yn ei
ddarnau; a llosgodd Moses y pen, y dar-
nau, a'r gwer.
21 Ond y perfedd a'r traed a olchodd efe
mewn dwfr; a llosgodd Moses yr hwrdd
oll ar yr allor. Poeth-offrwm *yw* hwn, i *fod*
yn arogl peraidd ac yn aberth tanllyd i'r
p Exod. 29. 18. Arglwydd; fel [p] y gorchymynodd yr
Arglwydd i Moses.
q Exod. 29. 19. 22 ¶ Ac [q] efe a ddug yr ail hwrdd, sef
hwrdd y cyssegriad: ac Aaron a'i feibion a
osodasant eu dwylaw ar ben yr hwrdd.
23 Ac efe a'i lladdodd; a Moses a gym-
merodd o'i waed, ac a'i rhoddes ar gwrr
isaf clust ddehau Aaron, ac ar fawd ei law
ddehau, ac ar fawd ei droed dehau.
24 Ac efe a ddug feibion Aaron: a Moses
a roes o'r gwaed ar gwrr isaf eu clust dde-
hau, ac ar fawd eu llaw ddehau, ac ar fawd
eu troed dehau; a thaenellodd Moses y
gwaed ar yr allor oddi amgylch.
25 Ac efe a gymmerodd hefyd y gwer,
a'r gloren, a'r holl wer *oedd* ar y perfedd,
a'r rhwyden oddi ar yr afu, a'r ddwy aren
a'u brasder, a'r ysgwyddog ddehau.
26 A chymmerodd o gawell y bara croyw,
yr hwn *oedd* ger bron yr Arglwydd, un
deisen groyw, ac un deisen o fara olewedig,
ac un afrlladen; ac a'u gosododd ar y gwer,
ac ar yr ysgwyddog ddehau:
r Exod. 29. 24, &c. 27 Ac a roddes y cwbl [r] ar ddwylaw
Aaron, ac ar ddwylaw ei feibion, ac a'u
cyhwfanodd hwynt yn offrwm cyhwfan ger
bron yr Arglwydd.
28 A Moses a'u cymmerth oddi ar eu dwy-
law hwynt, ac a'u llosgodd ar yr allor, ar yr
offrwm poeth. Dyma gyssegriadau o arogl pe-
raidd: dyma aberth tanllyd i'r Arglwydd.
29 Cymmerodd Moses y barwyden hefyd,
ac a'i cyhwfanodd yn offrwm cyhwfan ger
s Exod. 29. 26. bron yr Arglwydd: [s] rhan Moses o hwrdd
y cyssegriad oedd hi; fel y gorchymyna-
sai 'r Arglwydd wrth Moses.
t Exod. 29. 21. a 30. 30. 30 A [t] chymmerodd Moses o olew 'r en-
neiniad, ac o'r gwaed *oedd* ar yr allor, ac a'i
taenellodd ar Aaron, ar ei wisgoedd, ar ei
feibion hefyd, ac ar wisgoedd ei feibion yng-
hŷd ag ef: ac efe a gyssegrodd Aaron, a'i
wisgoedd, a'i feibion hefyd, a gwisgoedd ei
feibion ynghŷd ag ef.
31 ¶ A dywedodd Moses wrth Aaron, ac
u Exod. 29. 31. wrth ei feibion, [u] Berwch y cig *wrth* ddrws
pabell y cyfarfod: ac yno bwyttêwch ef, a'r
bara hefyd *sydd* ynghawell y cyssegriadau;
megis y gorchymynais, gan ddywedyd, Aa-
ron a'i feibion a'i bwytty ef.
32 A'r gweddill o'r cig, ac o'r bara, a
losgwch yn tân.
33 Ac nac ewch dros saith niwrnod allan
o ddrws pabell y cyfarfod, hyd y dydd y
x Exod. 29. 30, 35. Ezec. 43. 25. cyflawner dyddiau eich cyssegriadau: o her-
wydd [x] saith niwrnod y bydd efe yn eich
cyssegru chwi.

34 Megis y gwnaeth efe heddyw, y gor-
chymynodd yr Arglwydd wneuthur, i
wneuthur cymmod drosoch.
35 Ac arhoswch *wrth* ddrws pabell y
cyfarfod saith niwrnod, ddydd a nos, a
chedwch wyliadwriaeth yr Arglwydd,
fel na byddoch feirw: canys fel hyn y'm
gorchymynwyd.
36 A gwnaeth Aaron a'i feibion yr holl
bethau a orchymynodd yr Arglwydd trwy
law Moses.

## PEN. IX.

*1 Yr offrymmau cyntaf a offrymmodd Aaron drosto ei hun a'r bobl. 8 Y pech-offrwm, 12 a'r poeth-offrwm drosto ei hun. 15 Yr offrymmau dros y bobl. 23 Moses ac Aaron yn bendithio 'r bobl. 24 Tân yn dyfod oddi wrth yr Arglwydd ar yr allor.*

YNA y bu, ar yr wythfed dydd, i Moses 1490.
alw Aaron a'i feibion, a henuriaid
Israel;
2 Ac efe a ddywedodd wrth Aaron, [a] Cym- a Pen. 4. 3.
mer it' lo ieuangc yn aberth dros bechod, a
hwrdd yn boeth-offrwm, o rai perffeith-gwbl,
a dwg *hwy* ger bron yr Arglwydd.
3 Llefarodd hefyd wrth feibion Israel, gan
ddywedyd, [b] Cymmerwch fyn gafr, yn b Pen. 4. 23. Ezra 6. 17.
aberth dros bechod; a llo, ac oen, blwydd-
iaid, perffeith-gwbl, yn boeth-offrwm;
4 Ac eidion, a hwrdd, yn aberth hedd, i
aberthu ger bron yr Arglwydd; a bwyd-
offrwm wedi ei gymmysgu trwy olew:
o herwydd [c] heddyw yr ymddengys yr c Ad. 23.
Arglwydd i chwi.
5 ¶ A dygasant yr hyn a orchymynodd
Moses ger bron pabell y cyfarfod: a'r holl
gynnulleidfa a ddaethant yn agos, ac a saf-
asant ger bron yr Arglwydd.
6 A dywedodd Moses, Dyma 'r peth a
orchymynodd yr Arglwydd i chwi ei
wneuthur: ac ymddengys gogoniant yr
Arglwydd i chwi.
7 Dywedodd Moses hefyd wrth Aaron,
Dos at yr allor, ac [d] abertha dy aberth dros d Heb. 5. 3.
bechod, a'th boeth-offrwm, a gwna gym- a 7. 27. a 9.
mod drosot dy hun, a thros y bobl; ac a- 7.
bertha offrwm y bobl, a gwna gymmod dros-
tynt; fel y gorchymynodd yr Arglwydd.
8 ¶ Yna y nesaodd Aaron at yr allor, ac
a laddodd lo yr aberth dros bechod, yr hwn
*oedd* drosto ei hun.
9 A meibion Aaron a ddygasant y gwaed
atto: ac efe a wlychodd ei fys yn y gwaed,
ac [e] a'i gosododd ar gyrn yr allor, ac a dy- e Edrych
walltodd y gwaed *arall* wrth waelod yr allor. Pen. 4. 7.
10 Ond efe a losgodd ar yr allor o'r aberth
dros bechod y gwer a'r arennau, a'r rhwyden
oddi ar yr afu; fel [f] y gorchymynasai 'r Ar- f Pen. 4. 8.
glwydd wrth Moses.
11 [g] A'r cig a'r croen a losgodd efe yn g Pen. 4. 11.
tân, o'r tu allan i'r gwersyll.
12 Ac efe a laddodd y poeth-offrwm: a
meibion Aaron a ddygasant y gwaed atto;
ac efe a'i taenellodd ar yr allor o amgylch.
13 A dygasant y poeth-offrwm atto, gyd
â'i ddarnau, a'i ben hefyd; ac efe a'u llosg-
odd hwynt ar yr allor.
14 Ac efe a olchodd y perfedd a'r traed,
ac a'u llosgodd hwynt ynghŷd â'r offrwm
poeth ar yr allor.
15 ¶ Hefyd efe a ddug offrwm y bobl; ac
a gymmerodd fwch yr aberth dros bechod y
bobl, ac a'i lladdodd, ac a'i hoffrymmodd
dros bechod, fel y cyntaf. h Pen. 1.
16 Ac efe a ddug y poeth-offrwm, ac a'i 3, 10.
hoffrymmodd [h] yn ol y † ddefod. † Neu, *ordinhâd.*

i Pen. 2. 1, 2. 17 Ac efe a ddug i y bwyd-offrwm; ac a
lanwodd ei law o hono, ac a'i llosgodd ar
k Exod. 29. 38. yr allor, k heb law poeth-offrwm y bore.
18 Ac efe a laddodd y bustach a'r hwrdd,
l Pen. 3. 1. l yn aberth hedd, yr hwn *oedd* dros y bobl:
a meibion Aaron a ddygasant y gwaed atto;
ac efe a'i taenellodd ar yr allor o amgylch.
19 *Dygasant* hefyd wer y bustach a'r
hwrdd, y gloren, a'r weren fol, a'r arennau,
a'r rhwyden oddi ar yr afu.
20 A gosodasant y gwer ar y parwydenau;
ac efe a losgodd y gwer ar yr allor.
21 Y parwydenau hefyd, a'r ysgwyddog
m Exod. 29. 24, 26. Pen. 7. 34. ddehau, a gyhwfanodd Aaron m yn offrwm
cyhwfan ger bron yr ARGLWYDD; fel y
gorchymynodd Moses.
22 A chododd Aaron ei law tu ag at y
n Num. 6. 23. bobl, ac n a'u bendithiodd; ac a ddaeth i
wared o wneuthur yr aberth dros bechod,
a'r poeth-offrwm, a'r ebyrth hedd.
23 A Moses ac Aaron a aethant i babell y
cyfarfod; a daethant allan, ac a fendithiasant
y bobl: a gogoniant yr ARGLWYDD
a ymddangosodd i'r holl bobl.
o Gen. 4. 4. 24 A o daeth tân allan oddi ger bron yr
Barn. 6. 21. 1 Bren. 18. 38. ARGLWYDD, ac a ysodd y poeth-offrwm,
a'r gwer, ar yr allor: a gwelodd yr holl
2 Mac. 2. 10, 11. bobl; a gwaeddasant, a chwympasant ar
eu hwynebau.

PEN. X.

1 *Nadab ac Abihu, am offrymmu tân dieithr, a losgir gan dân.* 6 *Gwarafun i Aaron ac i'w feibion alaru am danynt.* 8 *Gwahardd gwin i'r offeiriaid pan font ar fyned i'r babell.* 12 *Y gyfraith ynghylch bwytta pethau sanctaidd.* 19 *Esgus Aaron am ei throseddu.*

1490.
a Num. 3. 3, 4. a 26. 61. YNA a Nadab ac Abihu, meibion Aaron,
a gymmerasant bob un ei thusser, ac a
roddasant dân ynddynt, ac a osodasant
1 Chron. 24. 2. arogl-darth ar hynny; ac a offrymmasant
ger bron yr ARGLWYDD dân dieithr, yr
hwn ni orchymynasai efe iddynt.
2 A daeth tân allan oddi ger bron yr ARGLWYDD,
ac a'u difaodd hwynt; a buant
feirw ger bron yr ARGLWYDD.
3 A dywedodd Moses wrth Aaron, Dyma
'r hyn a lefarodd yr ARGLWYDD, gan
b Exod. 19. 22. ddywedyd, Mi a sancteiddir yn y rhai b a
Esay 52. 11. nesânt attaf, a cher bron yr holl bobl y'm
gogoneddir. A thewi a wnaeth Aaron.
4 A galwodd Moses Misael ac Elsaphan,
c Exod. 6. 18. meibion c Uzziel, ewythr Aaron, a dywedodd
wrthynt, Deuwch yn nes; dygwch
Num. 3. 19. eich brodyr oddi ger bron y cyssegr, allan
o'r gwersyll.
5 A nesâu a wnaethant, a'u dwyn hwynt
yn eu peisiau allan o'r gwersyll; fel y llefarasai
Moses.
6 A dywedodd Moses wrth Aaron, ac
wrth Eleazar ac wrth Ithamar ei feibion,
d Pen. 13. 45. a 21. 1, 10. d Na ddiosgwch oddi am eich pennau, ac na
rwygwch eich gwisgoedd; rhag iwch' farw,
Num. 6. 6. a dyfod digofaint ar yr holl gynnulleidfa:
Deut. 33. 9. ond wyled eich brodyr chwi, holl dŷ Israel,
Ezec. 24. 16. am y llosgiad a losgodd yr ARGLWYDD.
7 Ac nac ewch allan o ddrws pabell y
cyfarfod; rhag iwch' farw: o herwydd *bod*
olew enneiniad yr ARGLWYDD arnoch chwi.
A gwnaethant fel y llefarodd Moses.
8 ¶ Llefarodd yr ARGLWYDD hefyd wrth
Aaron, gan ddywedyd,
e Ezec. 44. 21. 9 e Gwin a diod gadarn nac ŷf di, na'th
1 Tim. 3. 3. feibion gyd â thi, pan ddeloch i babell y cyfarfod;
fel na byddoch feirw. Deddf dragywyddol
trwy eich cenhedlaethau *fydd hyn:*

10 A *hynny* f er gwahanu rhwng cyssegredig a digyssegredig, a rhwng aflan a glân; f Jer. 15. 19. Ezec. 22. 26. a 44. 23.
11 Ac i ddysgu i feibion Israel yr holl
ddeddfau a lefarodd yr ARGLWYDD wrthynt
trwy law Moses.
12 ¶ A llefarodd Moses wrth Aaron, ac
wrth Eleazar ac wrth Ithamar, y rhai a
adawsid o'i feibion ef, Cymmerwch g y g Exod. 29. 2.
bwyd-offrwm sydd yngweddill o ebyrth Pen. 6. 16.
tanllyd yr ARGLWYDD, a bwyttêwch yn
groyw ger llaw 'r allor: o herwydd h sancteiddiolaf h Pen. 21. 22.
*yw*.
13 A bwyttêwch ef yn y lle sanctaidd; o
herwydd dy ran di, a rhan dy feibion di, o
ebyrth tanllyd yr ARGLWYDD, *yw* hyn:
canys i fel hyn y'm gorchymynwyd. i Pen. 2. 3. a 6. 16.
14 k Y barwyden gyhwfan hefyd, a'r ysgwyddog
ddyrchafael, a fwyttêwch mewn k Exod. 29. 24.
lle glân; tydi, a'th feibion, a'th ferched, Pen. 7. 31, 34.
ynghŷd â thi: o herwydd hwynt a roddwyd
yn rhan i ti, ac yn rhan i'th feibion di, o
ebyrth hedd meibion Israel.
15 l Yr ysgwyddog ddyrchafael, a'r barwyden l Pen. 7. 29, 30.
gyhwfan, a ddygant ynghŷd ag
ebyrth tanllyd o'r gwer, i gyhwfanu offrwm
cyhwfan ger bron yr ARGLWYDD: a bydded
i ti, ac i'th feibion gyd â thi, † yn rhan † *trwy ddeddf.*
dragywyddol; fel y gorchymynodd yr ARGLWYDD.
16 ¶ A Moses a geisiodd yn ddyfal m fwch m Pen. 9. 3.
yr aberth dros bechod; ac wele ef wedi ei
losgi: ac efe a ddigiodd wrth Eleazar ac
Ithamar, y rhai a adawsid o feibion Aaron,
gan ddywedyd,
17 Pa ham na fwyttasoch yr aberth dros
bechod yn y lle sanctaidd; o herwydd sancteiddiolaf
*yw*, a DUW a'i rhoddodd i chwi, i
ddwyn anwiredd y gynnulleidfa, gan wneuthur
cymmod drostynt, ger bron yr ARGLWYDD?
18 Wele, ni ddygwyd ei waed ef i fewn y
cyssegr: ei fwytta a ddylasech yn y cyssegr;
n fel y gorchymynais. n Pen. 6. 26.
19 A dywedodd Aaron wrth Moses, Wele,
heddyw yr offrymmasant eu haberth dros
bechod, a'u poeth-offrwm, ger bron yr ARGLWYDD;
ac fel hyn y digwyddodd i mi:
am hynny o's bwyttâwn aberth dros bechod
heddyw, a fyddai hynny dda yngolwg yr
ARGLWYDD?
20 A phan glybu Moses *hynny*, efe a fu
foddlon.

PEN. XI.

1 *Pa anifeiliaid a ellir,* 4 *a pha rai ni ellir eu bwytta.* 9 *Pa bysgod hefyd,* 13 *a pha adar.* 29 *Pa ymlusgiaid sydd aflan.*

A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses 1490.
ac Aaron, gan ddywedyd wrthynt,
2 Llefarwch wrth feibion Israel, gan ddywedyd,
a Dyma'r anifeiliaid a fwyttêwch, a Deut. 14. 4.
o'r holl anifeiliaid *sydd* ar y ddaear. Act. 10. 12, 14.
3 Beth bynnag a hollto'r ewin, ac a fforchogo
hollt yr ewinedd, ac a gno ei gil, o'r
anifeiliaid; hwnnw a fwyttêwch.
4 Ond y rhai hyn ni fwyttêwch; o'r rhai a
gnoant eu cil, ac o'r rhai a holltant yr ewin:
y † camel, er ei fod yn cnoi *ei* gil, am nad † Neu, *cawr-farch.*
yw yn hollti 'r ewin; aflan *fydd* i chwi.
5 A'r gwningen, am ei bod yn cnoi *ei* chil,
ac heb fforchogi 'r ewin; aflan *yw* i chwi.
6 A'r ysgyfarnog, am ei bod yn cnoi ei
chil, ac heb fforchogi 'r ewin; aflan *yw* i
chwi. b 2 Mac. 6. 18. a 7. 1.
7 b A'r llwdn hwch, am ei fod yn hollti 'r
ewin, ac yn fforchogi fforchedd yr ewin, a c Esay 65. 4. a 66. 3. 17.
heb gnoi *ei* gil; c aflan *yw* i chwi.

8 Na fwyttêwch o'u cig hwynt, ac na chy-
[d] Edrych ffyrddwch â'u burgyn hwynt : [d] aflan *ydynt*
Act. 10. i chwi.
14, 15. a 9 ¶ Hyn a fwyttêwch o bob dim a'r sydd
15. 20. yn y dyfroedd : pob peth *y mae* iddo esgyll
Rhuf. 14. a chenn, yn y dyfroedd, yn y moroedd, ac
14, 17. 1 Cor. 8. 8. Col. 2. 22. yn yr afonydd ; y rhai hynny a fwyttêwch.
10 A phob dim nid *oes* iddo esgyll a chenn,
yn y moroedd, ac yn yr afonydd, o bob dim
a ymsymmudo yn y dyfroedd, ac o bob
peth byw, y rhai *fyddant* yn y dyfroedd ;
byddant ffiaidd gennych.
11 Byddant ffiaidd gennych : na fwyt-
têwch o'u cig hwynt, a ffieiddiwch eu bur-
gyn hwy.
12 Yr hyn oll yn y dyfroedd ni *byddo* es-
gyll a chenn iddo, ffieiddbeth fydd i chwi.
13 ¶ A'r rhai hyn a ffieiddiwch chwi
o'r adar ; na fwyttêwch *hwynt*, ffieidd-dra
ydynt : sef yr eryr, a'r wŷddwalch, a'r fôr-
wennol ;
14 A'r fwltur, a'r barcud yn ei ryw ;
15 Pob cigfran yn ei rhyw ;
16 A chyw 'r estrys, a'r fran nos, ar gog,
a'r gwalch yn ei ryw ;
17 Ac aderyn y cyrph, a'r fulfran, a'r dy-
lluan,
18 A'r gogfran, a'r pelican, a'r bïogen,
19 A'r ciconia, a'r crŷr yn ei rhyw, a'r
goruchwigl, a'r ystlum.
20 Pob ehediad a ymlusgo *ac* a gerddo ar
bedwar troed, ffieidd-dra yw i chwi.
21 Ond hyn a fwyttêwch, o bob ehediad
a ymlusgo, ac a gerddo ar bedwar *troed*, yr
hwn y byddo coesau iddo oddi ar ei draed,
i neidio wrthynt ar hŷd y ddaear ;
22 O'r rhai hynny y rhai hyn a fwyt-
[e] Mat. 3. 4. têwch : [e] y locust yn ei ryw, a'r selam yn
Mar. 1. 6. ei ryw, a'r hargol yn ei ryw, a'r hagab yn
ei ryw.
23 A phob ehediad *arall* a ymlusgo, yr
hwn *y mae* pedwar troed iddo, ffieidd-dra
*fydd* i chwi.
24 Ac am y rhai hyn y byddwch aflan :
pwy bynnag a gyffyrddo â'u burgyn hwynt,
a fydd aflan hyd yr hwyr.
25 A phwy bynnag a ddygo ddim o'u bur-
gyn hwynt, golched ei ddillad ; ac aflan
fydd hyd yr hwyr.
26 Am bob anifail fydd yn hollti 'r ewin,
ac heb ei fforchogi, ac heb gnoi ei gil, aflan
yw y rhai hynny i chwi ; aflan fydd pob un
a gyffyrddo â hwynt.
27 Pob un hefyd a gerddo ar ei balfau, o
bob anifail a gerddo ar bedwar *troed*, aflan
ydynt i chwi : pob un a gyffyrddo â'u bur-
gyn, a fydd aflan hyd yr hwyr.
28 A'r hwn a ddygo eu burgyn hwynt,
golched ei ddillad ; a bydded aflan hyd yr
hwyr : aflan ydynt i chwi.
29 ¶ A'r rhai hyn sydd aflan i chwi o'r
† Neu, ymlusgiaid a ymlusgo ar y ddaear : y † wen-
*fronwen.* gci, a'r [f] llygoden, a'r llyffant yn ei ryw ;
[f] Esay 66. 30 A'r draenog, a'r ‡ lysard, a'r 'stelio,
17. a'r falwoden, a'r wadd.
‡ Neu, 31 Y rhai hyn ydynt aflan i chwi o bob
*genau goeg.* ymlusgiaid : pob dim a gyffyrddo â hwynt
pan fyddant feirw, a fydd aflan hyd yr
hwyr.
32 A phob dim y cwympo *un* o honynt
arno, wedi marw, a fydd aflan ; pob llestr
pren, neu wisg, neu groen, neu sach, pob
llestr y gwnelir dim gwaith ynddo, rhodder
mewn dwfr, a bydded aflan hyd yr hwyr :
felly y bydd glân.
33 A phob llestr pridd yr hwn y syrthio
*un* o'r rhai hyn i'w fewn, aflan fydd yr hyn
oll *fydd* o'i fewn ; a [g] thorrwch ynteu. [g] Pen. 6.
34 Aflan fydd pob bwyd a fwyttâir, o'r 28. a 15. 12.
hwn y del dwfr *aflan* arno ; ac aflan fydd
pob diod a yfir mewn llestr *aflan*.
35 Ac aflan fydd pob dim y cwympo *dim*
o'u burgyn arno ; y ffwrn a'r badell a dor-
rir : aflan ydynt, ac aflan fyddant i chwi.
36 Etto glân fydd y ffynnon a'r pydew,
lle mae § dyfroedd lawer : ond yr hyn a gy- § Heb.
ffyrddo â'u burgyn, a fydd aflan. *cynnulliad*
37 Ac os syrth *dim* o'u burgyn hwynt ar *dyfroedd.*
ddim had hauedig, yr hwn a heuir ; glân
*yw* efe.
38 Ond os rhoddir dwfr ar yr had, a
syrthio dim o'u burgyn hwynt arno ef ;
aflan *fydd* efe i chwi.
39 Ac os bydd marw un anifail a'r sydd
i chwi yn fwyd ; yr hwn a gyffyrddo â'i
furgyn ef, a fydd aflan hyd yr hwyr.
40 [h] A'r hwn a fwytty o'i furgyn ef, [h] Pen. 17.
golched ei ddillad ; a bydded aflan hyd yr 15. a 22. 8.
hwyr : a'r hwn a ddygo ei furgyn ef, golched Deut. 14.
ei ddillad ; a bydded aflan hyd yr hwyr. 21. Ezec. 4. 14.
41 A phob ymlusgiad a ymlusgo ar y a 44. 31.
ddaear, fydd ffieidd-dra : na fwyttâer ef.
42 Pob peth a gerddo ar ei dorr, a phob
peth a gerddo ar bedwar *troed*, a phob peth
‖ aml ei draed, o bob ymlusgiad a ymlusgo ‖ Heb.
ar y ddaear, na fwyttewch hwynt : canys *a amlhao*
ffieidd-dra *ydynt*. *draed.*
43 [i] Na wnewch eich eneidiau yn ffiaidd [i] Pen. 20.
oblegid un ymlusgiad a ymlusgo, ac na 25.
fyddwch aflan o'u plegid, fel y byddech
aflan o'u herwydd.
44 O herwydd myfi *yw*'r ARGLWYDD eich
Duw chwi : ymsancteiddiwch a [k] bydd- [k] Pen. 19.
wch sanctaidd ; o herwydd sanctaidd *ydwyf* 2. a 20. 7.
fi : ac nac aflanhêwch eich eneidiau wrth 1 Petr 1.
un ymlusgiad a ymlusgo ar y ddaear. 15, 16.
45 Canys myfi *yw* 'r ARGLWYDD, yr
hwn a'ch dug chwi o dir yr Aipht, i fod yn
DDUW i chwi : byddwch chwithau sanct-
aidd ; canys sanctaidd *ydwyf* fi.
46 Dyma gyfraith yr anifeiliaid, a'r ehe-
diaid, a phob peth byw a'r sydd yn ymsym-
mud yn y dyfroedd, ac am bob peth byw
a'r sydd yn ymlusgo ar y ddaear ;
47 I wneuthur gwahan rhwng yr aflan a'r
glân, a rhwng yr anifail a fwyttâir a'r hwn
ni's bwyttâir.

PEN. XII.

1 *Puredigaeth gwraig ar ol esgor.* 6 *Ei ho-
ffrymmau am ei phuredigaeth.*

A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, 1490.
gan ddywedyd,
2 Llefara wrth feibion Israel, gan ddy-
wedyd, Os gwraig a feichioga, ac a esgor ar
wrryw ; yna [a] bydded aflan saith niwrnod : [a] Luc 2. 22.
[b] fel dyddiau gwahaniaeth ei misglwyf y [b] Pen. 15.
bydd hi aflan. 19.
3 A'r [c] wythfed dydd yr enwaedir ar [c] Gen. 17.
gnawd ei ddïenwaediad ef. 12.
4 A thri diwrnod ar ddeg ar hugain yr erys Luc 1. 59.
yngwâed ei phuredigaeth : na chyffyrdded a 2. 21.
â dim sanctaidd, ac na ddeued i'r cyssegr, Ioan 7. 22.
nes cyflawni dyddiau ei phuredigaeth.
5 Ond os ar fenyw yr esgor hi ; yna y
bydd hi aflan bythefnos, megis *yn* ei gwa-
haniaeth : a chwe diwrnod a thrugain yr
erys yngwâed ei phuredigaeth.
6 A phan gyflawner dyddiau ei phuredi-
gaeth ar fab neu ferch ; dyged oen blwydd
yn offrwm poeth, a chyw colommen, neu
durtur, yn aberth dros bechod, at yr offei-
riad, i ddrws pabell y cyfarfod :

7 Ac offrymmed efe hynny ger bron yr ARGLWYDD, a gwnaed gymmod drosti: a hi a lanheir oddi wrth gerddediad ei gwaed. Dyma gyfraith yr hon a esgor ar wrryw neu ar fenyw.

d Pen. 5. 7. Luc 2. 24. 8 d Ac os ei llaw ni chyrraedd werth oen, yna cymmered ddwy durtur, neu ddau gyw colommen; y naill yn offrwm poeth, a'r llall yn aberth dros bechod: a gwnaed yr offeiriad gymmod drosti; a glân fydd.

## PEN. XIII.

1 *Y deddfau a'r arwyddion wrth ba rai y cyfarwyddir yr offeiriad i adnabod y gwahan-glwyf.*

1490. A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses ac Aaron, gan ddywedyd,

2 Dyn (pan fyddo ynghrôen ei gnawd † chwydd, neu grammen, neu ddisgleirder, a bod ynghrôen ei gnawd ef *megis* pla y clwyf gwahanol) a a ddygir at Aaron yr offeiriad, neu at un o'i feibion ef yr offeiriaid.

† Neu, *gwdiad.*

a Deut. 17. 8. a 24. 8.

3 A'r offeiriad a edrych ar y pla ynghrôen y cnawd: os y blewyn yn y pla fydd wedi troi yn wŷn, a gweled iad y pla yn ddyfnach nâ chroen ei gnawd ef; pla gwahan-glwyf *yw* hwnnw: a'r offeiriad a'i hedrych, ac a'i barn yn aflan.

4 Ond os y disgleirdeb fydd gwŷn ynghrôen ei gnawd ef, ac heb fod yn is ei weled iad nâ'r croen, a'i flewyn heb droi yn wŷn; yna caued yr offeiriad ar y clwyfus saith niwrnod.

5 A'r seithfed dydd edryched yr offeiriad ef: ac wele, os sefyll y bydd y pla yn ei olwg ef, heb ledu o'r pla yn y croen; yna caued yr offeiriad arno saith niwrnod eilwaith.

6 Ac edryched yr offeiriad ef yr ail seithfed dydd: ac wele, *os bydd* y pla yn odywyll, heb ledu o'r pla yn y croen; yna barned yr offeiriad ef yn lân: crammen *yw* honno: yna golched ei wisgoedd, a glân fydd.

7 Ac os y grammen gan ledu a leda yn y croen, wedi i'r offeiriad ei weled, i'w farnu yn lân; dangoser ef eilwaith i'r offeiriad.

8 Ac *os* gwel yr offeiriad, ac wele, ledu o'r grammen yn y croen; yna barned yr offeiriad ef yn aflan: gwahan-glwyf *yw.*

9 ¶ Pan fyddo ar ddyn bla gwahan-glwyf, dyger ef at yr offeiriad;

10 Ac edryched yr offeiriad: yna, *os* chwydd gwŷn *a fydd* yn y croen, a hwnnw wedi troi 'r blewyn yn wŷn, a dim cig noeth byw yn y chwydd;

11 Hen wahan-glwyf *yw* hwnnw ynghrôen ei gnawd ef; a barned yr offeiriad ef yn aflan: na chaued arno; o herwydd y mae efe yn aflan.

12 Ond os y gwahan-glwyf gan darddu a dardda yn y croen, a gorchuddio o'r gwahan-glwyf holl groen y clwyfus, o'i ben hyd ei draed, pa le bynnag yr edrycho 'r offeiriad;

13 Yna edryched yr offeiriad: ac wele, *os* y gwahan-glwyf fydd yn cuddio ei holl gnawd ef; yna barned *yr offeiriad* y clwyfus yn lân: trodd yn wŷn i gyd: glân *yw.*

14 A'r dydd y gwelir ynddo gig byw, aflan fydd.

15 Yna edryched yr offeiriad ar y cig byw, a barned ef yn aflan: aflan *yw* 'r cig byw hwnnw; gwahan-glwyf *yw.*

16 Neu os dychwel y cig byw, a throi 'n wŷn; yna deued at yr offeiriad:

17 Ac edryched yr offeiriad arno: ac wele, *os* trodd y pla yn wŷn; yna barned yr offeiriad y clwyfus yn lân: glân *yw* efe.

18 ¶ Y cnawd hefyd y bu ynddo gornwyd yn ei groen, a'i iachâu;

19 A bod yn lle 'r cornwyd chwydd gwŷn, neu ddisgleirder gwŷn-goch, a'i ddangos i'r offeiriad:

20 Os, pan edrycho'r offeiriad arno, y gwelir ef yn is nâ'r croen, a'i flewyn wedi troi yn wŷn; yna barned yr offeiriad ef yn aflan: gwahan-glwyf *yw* efe wedi tarddu o'r cornwyd.

21 Ond os yr offeiriad a'i hedrych; ac wele, ni bydd ynddo flewyn gwŷn, ac ni bydd is nâ 'r croen, ond ei fod yn odywyll; yna caued yr offeiriad arno saith niwrnod.

22 Ac os gan ledu y lleda yn y croen; yna barned yr offeiriad ef yn aflan: pla *yw* efe.

23 Ond os y disgleirder a saif yn ei le, heb ymledu, craith cornwyd *yw* efe; a barned yr offeiriad ef yn lân.

24 ¶ Os cnawd fydd â ‡ llosgiad yn y croen, a bod i'r cig byw sy 'n llosgi ddisgleirder gwŷn-goch, neu wŷn;

‡ Heb. *llosgiad tân.*

25 Yna edryched yr offeiriad ef: ac wele, *os* blewyn yn y disgleirdeb fydd wedi troi yn wŷn, ac yn is i'w weled nâ'r croen; gwahan-glwyf *yw* hwnnw yn tarddu o'r llosgiad; a barned yr offeiriad ef yn aflan: pla gwahan-glwyf *yw* hwnnw.

26 Ond os yr offeiriad a'i hedrych; ac wele, ni *bydd* blewyn gwŷn yn y disgleirder, ac ni *bydd* is nâ 'r croen, ond ei fod yn odywyll; yna caued yr offeiriad arno saith niwrnod.

27 Ac edryched yr offeiriad ef y seithfed dydd: os gan ledu y lledodd yn y croen; yna barned yr offeiriad ef yn aflan: pla gwahan-glwyf *yw* hwnnw.

28 Ac os y disgleirdeb a saif yn ei le, heb ledu yn y croen, ond ei fod yn odywyll; chwydd y llosgiad *yw* efe; barned yr offeiriad ef yn lân: canys craith y llosgiad *yw* hwnnw.

29 ¶ Os bydd gwr neu wraig â phla arno mewn pen neu farf;

30 Yna edryched yr offeiriad y pla: ac wele, os is y gwelir nâ'r croen, a blewyn melyn main ynddo; yna barned yr offeiriad ef yn aflan: y ddufrech *yw* hwnnw; gwahan-glwyf pen neu farf *yw.*

31 Ac os yr offeiriad a edrych ar bla y ddufrech; ac wele, ni bydd yn is ei weled nâ'r croen, ac heb flewyn du ynddo; yna caued yr offeiriad ar *yr hwn y bo arno* y ddufrech, saith niwrnod.

32 Ac edryched yr offeiriad ar y pla y seithfed dydd: ac wele, *os* y ddufrech ni bydd wedi lledu, ac ni bydd blewyn melyn ynddi, a heb fod yn is gweled y ddufrech nâ'r croen;

33 Yna eillier ef, ac nac eillied *y fan y byddo* 'r ddufrech; a chaued yr offeiriad ar *berchen* y ddufrech saith niwrnod eilwaith.

34 A'r seithfed dydd edryched yr offeiriad ar y ddufrech: ac wele, os y ddufrech ni ledodd yn y croen, ac ni bydd is ei gweled nâ'r croen; yna barned yr offeiriad ef yn lân, a golched ei ddillad, a glân fydd.

35 Ond os y ddufrech gan ledu a leda yn y croen, wedi ei lanhâu ef;

36 Yna edryched yr offeiriad ef: ac wele, os lledodd y ddufrech yn y croen, na chwilied yr offeiriad am y blewyn melyn: *y mae* efe yn aflan.

37 Ond os sefyll y bydd y ddufrech yn ei

olwg ef, a blewyn du wedi tyfu ynddi; aeth y ddufrech yn iach, glân *yw* hwnnw; a barned yr offeiriad ef yn lân.

38 ¶ Os bydd ynghrôen cnawd gwr neu wraig lawer o ddisglair fannau gwŷnion;

39 Yna edryched yr offeiriad: ac wele, *os* bydd ynghrôen eu cnawd hwynt ddisgleiriadau gwŷnion wedi gordduo; brychni *yw* hynny yn tarddu yn y croen: glân *yw* efe.

40 A gwr pan † syrthio gwallt ei ben, moel *yw; etto* glân fydd.

† Heb. *hiper ei ben.*

41 Ac os o du ei wyneb y syrth gwallt ei ben, efe a fydd tal-foel; *etto* glân *fydd* efe.

42 Ond pan fyddo anafod gwŷn-goch yn y pen-foeledd, neu yn y tal-foeledd; gwahan-glwyf *yw* efe yn tarddu yn ei ben-foeledd, neu yn ei dal-foeledd ef.

43 Ac edryched yr offeiriad arno: ac wele, *os* bydd chwydd yr anafod yn wŷn-goch, yn ei ben-foeledd, neu yn ei dal-foeledd ef, fel gwelediad gwahan-glwyf ynghrôen y cnawd;

44 Gwr gwahan-glwyfus *yw* hwnnw, aflan *yw;* a'r offeiriad a'i barna ef yn llwyr-aflan: yn ei ben *y mae* ei bla.

45 A'r gwahan-glwyfus yr hwn y byddo pla arno, [b] bydded ei wisgoedd ef wedi rhwygo, a'i ben yn noeth, a rhodded gaead ar ei wefus uchaf, a lleféd, Aflan, aflan.

[b] Ezec. 24. 17. 22. Mic. 3. 7.

46 Yr holl ddyddiau *y byddo*'r pla arno, bernir ef yn aflan; aflan *yw* efe: triged ei hunan; [c] *bydded* ei drigfa allan o'r gwersyll.

[c] Num. 5. 2. a 12. 14. 2 Bren. 7. 3. a 15. 5. 2 Chron. 26. 21.

47 ¶ Ac os dilledyn fydd â phla gwahan-glwyf ynddo, o ddilledyn gwlan, neu o ddilledyn llin,

48 Pa un bynnag ai yn yr ystof, ai yn yr anwe, o lin, neu o wlan, neu mewn croen, neu mewn dim a wnaed o groen;

49 Os gwŷrddlas neu goch fydd yr anafod yn y dilledyn, neu yn y croen, neu yn yr ystof, neu yn yr anwe, neu mewn ‡ dim o groen: pla y gwahan-glwyf *yw* efe; a dangoser ef i'r offeiriad.

‡ Heb. *llestr,* neu, *offeryn.*

50 Ac edryched yr offeiriad ar y pla; a chaued ar y peth y bo'r pla arno, saith niwrnod.

51 A'r seithfed dydd edryched ar y pla: os y pla a ledodd yn y dilledyn, pa un bynnag ai mewn ystof, ai mewn anwe, ai mewn croen, neu beth bynnag a wnaed o groen; gwahan-glwyf ysol *yw* y pla; aflan *yw.*

52 Am hynny llosged y dilledyn hwnnw, pa un bynnag ai ystof, ai anwe, o wlan, neu o lin, neu ddim o groen, yr hwn y byddo pla ynddo: canys gwahan-glwyf ysol *yw* efe; llosger yn tân.

53 Ac os edrych yr offeiriad; ac wele, ni ledodd y pla mewn dilledyn, mewn ystof, neu mewn anwe, neu ddim o groen;

54 Yna gorchymyned yr offeiriad iddynt olchi *yr hyn y byddo*'r pla ynddo, a chaued arno saith niwrnod eilwaith.

55 Ac edryched yr offeiriad ar y pla wedi ei olchi: ac wele, *os* y pla ni throdd ei liw, ac ni ledodd y pla; efe *a fydd* aflan; llosg ef yn tân; ysiad *yw,* pa un bynnag y bo yn llwmm ai § o'r tu mewn ai o'r tu allan.

§ Heb. *yn ei ben,* neu, *ei dalcen.*

56 Ac os edrych yr offeiriad; ac wele'r pla yn odywyll, ar ol ei olchi; yna torred ef allan o'r dilledyn, neu o'r croen, neu o'r ystof, neu o'r anwe.

57 Ond os gwelir ef etto yn y dilledyn, yn yr ystof, neu yn yr anwe, neu mewn dim o groen; tarddu y mae efe: llosg yr hwn *y mae*'r pla ynddo yn tân.

58 A'r dilledyn, neu'r ystof, neu'r anwe, neu pa beth bynnag o groen, y rhai a olcher, os ymadawodd y pla â hwynt, a olchir eilwaith; a glân *fydd.*

59 Dyma gyfraith pla gwahan-glwyf, mewn dilledyn gwlan, neu lin, mewn ystof, neu anwe, neu pa beth bynnag o groen, i'w farnu'n lân, neu i'w farnu'n aflan.

## PEN. XIV.

1 *Y seremoniau a'r aberthau wrth lanhâu'r gwahan-glwyfus.* 33 *Arwyddion y gwahan-glwyf mewn tŷ.* 48 *Y modd y glanhêir y tŷ hwnnw.*

LLEFARODD yr ARGLWYDD hefyd wrth Moses, gan ddywedyd, 1490.

2 Dyma gyfraith y gwahan-glwyfus, y dydd y glanhêir ef. [a] Dyger ef at yr offeiriad:

[a] Mat. 8. 2, 4. Marc 1. 40, 44. Luc 5. 12, 14. a 17. 14.

3 A'r offeiriad a ddaw allan o'r gwersyll; ac edryched yr offeiriad: ac wele, *os* pla'r gwahan-glwyf a iachaodd ar y gwahan-glwyfus;

4 Yna gorchymyned yr offeiriad i'r hwn a lanhêir, gymmeryd dau aderyn y to, byw *a* glân, a [b] choed cedr, ac [c] ysgarlad, ac [d] isop.

[b] Num. 19. 6. [c] Heb. 9. 19. [d] Psalm 51. 7.

5 A gorchymyned yr offeiriad ladd y naill aderyn y to mewn llestr pridd, oddi ar ddwfr rhedegog.

6 A chymmered efe yr aderyn byw, a'r coed cedr, a'r ysgarlad, a'r isop, a throched hwynt a'r aderyn byw hefyd yngwâed yr aderyn a laddwyd oddi ar y dwfr rhedegog.

7 A thaenelled seithwaith ar yr hwn a lanhêir oddi wrth y gwahan-glwyf, a barned ef yn lân; yna gollynged yr aderyn byw yn rhŷdd ar wyneb y maes.

8 A golched yr hwn a lanhêir ei ddillad, ac eillied ei holl flew, ac ymolched mewn dwfr; a glân fydd: a deued wedi hynny i'r gwersyll, a [e] thriged o'r tu allan i'w babell saith niwrnod.

[e] Num. 12. 15.

9 A'r seithfed dydd bydded iddo eillio ei holl flew, *sef* ei ben, a'i farf, ac aeliau ei lygaid; ïe, eillied ei holl flew; a golched ei ddillad, a golched ei gnawd mewn dwfr; a glân fydd.

10 A'r wythfed dydd cymmered ddau oen perffeith-gwbl, ac un hespin flwydd berffeith-gwbl, a thair degfed ran o beilliaid, [f] yn fwyd-offrwm, wedi ei gymmysgu trwy olew, ac un log o olew.

[f] Pen. 2. 1.

11 A gosoded yr offeiriad a lanhao, y gwr a lanhêir, a hwynt hefyd ger bron yr ARGLWYDD, *wrth* ddrws pabell y cyfarfod.

12 A chymmered yr offeiriad un hespwrn, ac [g] offrymmed ef yn aberth dros gamwedd, a'r log o olew, a [h] chyhwfaned hwynt yn offrwm cyhwfan ger bron yr ARGLWYDD.

[g] Pen. 4. 2. [h] Ex. 29. 24.

13 A ladded ef yr oen [i] yn y lle y lladder y pech-aberth, a'r poeth-offrwm; *sef* yn y lle sanctaidd: o herwydd [k] yr aberth dros gamwedd *sydd* eiddo'r offeiriad, yn gystal a'r pech-aberth: [l] sancteiddiolaf *yw.*

[i] Ex. 29. 11. Pen. 3. 8. a 4. 4, 24. [k] Pen. 7. 7. [l] Pen. 2. 3. a 21. 22.

14 A chymmered yr offeiriad o waed yr aberth dros gamwedd, a rhodded yr offeiriad ef [m] ar gwrr isaf clust ddehau yr hwn a lanhêir, ac ar fawd ei law ddehau, ac ar fawd ei droed dehau ef.

[m] Ex. 29. 20. Pen. 8. 23.

15 A chymmered yr offeiriad o'r log olew, a thywallted ar gledr ei law aswy ei hun.

16 A gwlyched yr offeiriad ei fys dehau yn yr olew *fyddo* ar ei law aswy, a thaenelled o'r olew â'i fys seithwaith ger bron yr ARGLWYDD.

17 Ac o weddill yr olew *fyddo* ar ei law,
y dŷd yr offeiriad ar gwrr isaf clust ddehau
yr hwn a lanhêir, ac ar fawd ei law dde-
hau, ac ar fawd ei droed dehau, ar waed
yr offrwm dros gamwedd.
18 A'r rhan arall o'r olew *fyddo* ar law 'r
offeiriad, a rydd efe ar ben yr hwn a lan-
hêir; a gwnaed yr offeiriad gymmod drosto
ger bron yr ARGLWYDD.
[n] Pen. 5. 1. 19 Ie, offrymmed yr offeiriad [n] aberth
dros bechod, a gwnaed gymmod dros yr
hwn a lanhêir oddi wrth ei aflendid; ac
wedi hynny lladded y poeth-offrwm.
20 Ac aberthed yr offeiriad y poeth-
offrwm, a'r bwyd-offrwm, ar yr allor: a
gwnaed yr offeiriad gymmod drosto; a glân
fydd.
[o] Pen. 5. 7. 21 Ond [o] os tlawd *fydd*, a'i law heb gyr-
haeddyd *hyn;* yna cymmered un oen, yn
aberth dros gamwedd, i'w gyhwfanu, i
wneuthur cymmod drosto, ac un ddegfed
ran o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew,
yn fwyd-offrwm, a log o olew;
22 A dwy durtur, neu ddau gyw colom-
men, y rhai a gyrhaeddo ei law: a bydded
un yn bech-aberth, a'r llall yn boeth-offrwm.
23 A dyged hwynt yr wythfed dydd i'w
lanhâu ef at yr offeiriad, wrth ddrws pabell
y cyfarfod, ger bron yr ARGLWYDD.
24 A chymmered yr offeiriad oen yr off-
rwm dros gamwedd, a'r log olew, a chy-
hwfaned yr offeiriad hwynt yn offrwm cy-
hwfan ger bron yr ARGLWYDD.
25 A lladded oen yr offrwm dros gam-
wedd; a chymmered yr offeiriad o waed
yr offrwm dros gamwedd, a rhodded ar
gwrr isaf clust ddehau yr hwn a lanhêir, ac
ar fawd ei law ddehau, ac ar fawd ei droed
dehau.
26 A thywallted yr offeiriad o'r olew ar
gledr ei law aswy ei hun.
27 Ac â'i fys dehau taenelled yr offeiriad,
o'r olew *fyddo* ar gledr ei law aswy, seith-
waith ger bron yr ARGLWYDD.
28 A rhodded yr offeiriad o'r olew *a fyddo*
ar gledr ei law, ar gwrr isaf clust ddehau 'r
hwn a lanhêir, ac ar fawd ei law ddehau, ac
ar fawd ei droed dehau, ar y mann *y byddo*
gwaed yr offrwm dros gamwedd.
29 A'r rhan arall o'r olew *fyddo* ar gledr
llaw 'r offeiriad, a rydd efe ar ben yr hwn a
lanhêir, i wneuthur cymmod drosto ger bron
yr ARGLWYDD.
30 Yna offrymmed un o'r turturau, neu
o'r cywion colommennod, *sef* o'r rhai a
gyrhaeddo ei law ef;
31 Y rhai *(meddaf)* a gyrhaeddo ei law
ef, un yn bech-aberth, ac un yn boeth-
offrwm, ynghŷd â'r bwyd-offrwm: a gwnaed
yr offeiriad gymmod dros yr hwn a lanhêir
ger bron yr ARGLWYDD.
32 Dyma gyfraith yr un *y byddo* pla 'r
gwahan-glwyf arno, yr hwn ni chyrhaeddo ei
[p] Adn. 10. law [p] yr hyn a berthyn i'w lanhâd.
33 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth
Moses ac Aaron, gan ddywedyd,
34 Pan ddeloch i dir Canaan, yr hwn yr
ydwyf yn ei roddi i chwi yn feddiant, os
rhoddaf bla gwahan-glwyf ar dŷ *o fewn* tir
eich meddiant;
35 A dyfod o'r hwn biau 'r tŷ, a dangos
i'r offeiriad, gan ddywedyd, Gwelaf megis
pla yn y tŷ:
36 Yna gorchymyned yr offeiriad iddynt
† Neu, *barotoi.* † arloesi 'r tŷ, cyn dyfod yr offeiriad i weled
y pla; fel na haloger yr hyn oll *a fyddo* yn
tŷ: ac wedi hynny deued yr offeiriad i
edrych y tŷ.
37 Ac edryched ar y pla: ac wele, *os* y
pla *fydd* ym mharwydydd y tŷ, yn agennau
gwyrddleision, neu gochion, a'r olwg arnynt
yn is na'r pared;
38 Yna aed yr offeiriad allan o'r tŷ, i
ddrws y tŷ, a chaued y tŷ saith niwrnod.
39 A'r seithfed dydd deued yr offeiriad
drachefn, ac edryched: ac *os* lledodd y pla
ym mharwydydd y tŷ;
40 Yna gorchymyned yr offeiriad iddynt
dynnu 'r cerrig *y byddo* 'r pla arnynt, a bw-
riant hwynt allan o'r ddinas i le aflan.
41 A phared grafu 'r tŷ o'i fewn o am-
gylch; a thywalltant y llwch a grafont, o'r
tu allan i 'r ddinas i le aflan.
42 A chymmerant gerrig eraill, a gosod-
ant yn lle 'r cerrig hynny; a chymmered
bridd arall, a phridded y tŷ.
43 Ond os daw 'r pla drachefn, a tharddu
yn y tŷ, wedi tynnu 'r cerrig, ac wedi crafu 'r
tŷ, ac wedi priddo;
44 Yna doed yr offeiriad, ac edryched:
ac wele, *os* lledodd y pla yn y tŷ, gwahan-
glwyf ysol *yw* hwnnw yn y tŷ: aflan *yw*
efe.
45 Yna tynned y tŷ i lawr, ei gerrig, a'i
goed, a holl bridd y tŷ; a bwried i'r tu
allan i'r ddinas i le aflan.
46 A'r hwn a ddel i 'r tŷ yr holl ddyddiau
y parodd efe ei gau, efe a fydd aflan hyd yr
hwyr.
47 A'r hwn a gysgo yn y tŷ, golched ei
ddillad: felly yr hwn a fwyttao yn y tŷ,
golched ei ddillad.
48 Ac os yr offeiriad gan ddyfod a ddaw,
ac a edrych; ac wele ni ledodd y pla yn y
tŷ, wedi priddo 'r tŷ: yna barned yr offeir-
iad y tŷ yn lân, o herwydd iachâu 'r pla.
49 A [q] chymmered i lanhâu 'r tŷ ddau [q] Adn. 4.
aderyn y to, a choed cedr, ac ysgarlad, ac
isop.
50 A lladded y naill aderyn mewn llestr
pridd, oddi ar ddwfr rhedegog.
51 A chymmered y coed cedr, a'r isop,
a'r ysgarlad, a'r aderyn byw, a throched
hwynt yngwâed yr aderyn a laddwyd, ac
yn y dwfr rhedegog, a thaenelled ar y tŷ
seithwaith.
52 A glanhâed y tŷ â gwaed yr aderyn,
ac â'r dwfr rhedegog, ac â'r aderyn byw,
ac â'r coed cedr, ac â'r isop, ac â'r ysgar-
lad.
53 A gollynged yr aderyn byw allan o'r
ddinas ar wyneb y maes, a gwnaed gym-
mod dros y tŷ; a glân fydd.
54 Dyma gyfraith am bob pla y clwyf
gwahanol, ac am y [r] ddufrech, [r] Pen. 13.
55 Ac am wahan-glwyf gwisg, a thŷ, 30.
56 Ac am chwydd, a chrammen, a dis-
gleirdeb; ‡ Heb. *yn nydd yr aflan, ac yn nydd y glân.*
57 I ddysgu ‡ pa bryd *y bydd* aflan, a
pha bryd *yn* lân. Dyma gyfraith y gwahan-
glwyf.

## PEN. XV.

1 *Aflendid gwŷr yn eu diferlif.* 13 *Eu pure-
digaeth.* 19 *Aflendid gwragedd yn eu di-
ferlif;* 28 *a'u puredigaeth.*

A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses 1490.
ac Aaron, gan ddywedyd,
2 Llefarwch wrth feibion Israel, a dywed-
wch wrthynt, [a] Pob un pan fyddo diferlif [a] Num. 5. 2.
yn rhedeg o'i gnawd, *a fydd* aflan oblegid
ei ddiferlif.
3 A hyn fydd ei aflendid yn ei ddiferlif:

os ei gnawd ef a ddifera ei ddiferlif, neu ymattal o'i gnawd ef oddi wrth ei ddiferlif; ei aflendid ef *yw* hyn.

4 Pob gwely y gorweddo ynddo un diferllyd, a fydd aflan; ac aflan fydd pob † peth yr eisteddo efe arno.

† Heb. *dodrefnyn.*

5 A'r neb a gyffyrddo â'i wely ef, golched ei ddillad, ac ymdroched mewn dwfr, a bydd aflan hyd yr hwyr.

6 A'r hwn a eisteddo ar ddim yr eisteddodd y diferllyd arno, golched ei ddillad, ac ymolched mewn dwfr, a bydd aflan hyd yr hwyr.

7 A'r hwn a gyffyrddo â chnawd y diferllyd, golched ei ddillad, ac ymolched mewn dwfr, a bydd aflan hyd yr hwyr.

8 A phan boero'r diferllyd ar un glân, golched *hwnnw* ei ddillad, ac ymolched mewn dwfr, a bydd aflan hyd yr hwyr.

9 Ac aflan fydd pob cyfrwy y marchogo y diferllyd ynddo.

10 A phwy bynnag a gyffyrddo â dim a fu dano, bydd aflan hyd yr hwyr: a'r hwn a'u dygco hwynt, golched ei ddillad, ac ymolched mewn dwfr, a bydd aflan hyd yr hwyr.

11 A phwy bynnag y cyffyrddo 'r diferllyd ag ef, heb olchi ei ddwylaw mewn dwfr, golched ei ddillad, ac ymolched mewn dwfr, a bydd aflan hyd yr hwyr.

12 A'r [b] llestr pridd y cyffyrddo 'r diferllyd ag ef, a ddryllir: a phob llestr pren a olchir mewn dwfr.

b Pen. 6. 28. a 11. 32, 33.

13 A phan lanhéir y diferllyd oddi wrth ei ddiferlif; yna [c] cyfrifed iddo saith niwrnod i'w lanhâu, a golched ei ddillad, a golched ei gnawd mewn dwfr rhedegog, a glân fydd.

c Pen. 14. 10.

14 A'r wythfed dydd cymmered iddo ddwy durtur, neu [d] ddau gyw colommen, a deued ger bron yr Arglwydd, i ddrws pabell y cyfarfod, a rhodded hwynt i'r offeiriad.

d Pen. 14. 22.

15 Ac offrymmed yr offeiriad hwynt, un yn bech-aberth, a'r llall yn boeth-offrwm: a gwnaed yr offeiriad gymmod drosto ef am ei ddiferlif, ger bron yr Arglwydd.

16 Ac [e] os gwr a ddaw oddi wrtho ddisgyniad had; yna golched ei holl gnawd mewn dwfr, a bydd aflan hyd yr hwyr.

e Deut. 23. 10.

17 A phob dilledyn, a phob croen, y byddo disgyniad had arno, a olchir mewn dwfr, ac a fydd aflan hyd yr hwyr.

18 A'r wraig y cysgo gwr *mewn* disgyniad had gyd â hi; ymolchant mewn dwfr, a byddant aflan hyd yr hwyr *ill dau.*

19 ¶ A [f] phan fyddo gwraig â diferlif arni, a bod ei diferlif yn ei chnawd yn waed; bydded saith niwrnod yn ei gwahaniaeth: a phwy bynnag a gyffyrddo â hi, bydd aflan hyd yr hwyr.

f Pen. 12. 2.

20 A'r hyn oll y gorweddo hi arno yn ei gwahaniaeth, fydd aflan; a'r hyn oll yr eisteddo hi arno, a fydd aflan.

21 A phwy bynnag a gyffyrddo â'i gwely hi, golched ei ddillad, ac ymolched mewn dwfr, a bydd aflan hyd yr hwyr.

22 A phwy bynnag a gyffyrddo â dim yr eisteddodd hi arno, golched ei ddillad, ac ymolched mewn dwfr, a bydd aflan hyd yr hwyr.

23 Ac os ar y gwely *y bydd* efe, neu ar ddim y byddo hi yn eistedd arno, wrth gyffwrdd ag ef; hyd yr hwyr y bydd efe aflan.

24 Ond [g] os gwr gan gysgu a gwsg gyd â hi, fel y byddo o'i mis-glwyf hi arno ef; aflan fydd efe saith niwrnod, ac aflan fydd yr holl wely y gorwedd efe arno.

g Edrych Pen. 20. 18.

25 A [h] phan fyddo diferlif ei gwaed yn rhedeg ar wraig lawer o ddyddiau, allan o amser ei hanhwyl, neu pan redo diferlif arni ar ol ei hanhwyl; bydded holl ddyddiau diferlif ei haflendid hi megis dyddiau ei gwahaniaeth: aflan *fydd* hi.

26 Pob gwely y gorweddo hi arno holl ddyddiau ei diferlif, *fydd* iddi fel gwely ei mis-glwyf; a phob dodrefnyn yr eisteddo hi arno fydd aflan, megis aflendid ei misglwyf hi.

27 A phwy bynnag a gyffyrddo â hwynt, aflan fydd; a golched ei ddillad, ac ymolched mewn dwfr, a bydd aflan hyd yr hwyr.

28 Ac os glanhéir hi o'i diferlif; yna cyfrifed iddi saith niwrnod: ac wedi hynny glân fydd.

29 A'r wythfed dydd cymmered iddi ddwy durtur, neu ddau gyw colommen, a dyged hwynt at yr offeiriad, i ddrws pabell y cyfarfod.

30 Ac offrymmed yr offeiriad un yn bechaberth, a'r llall yn boeth-offrwm; a gwnaed yr offeiriad gymmod drosti ger bron yr Arglwydd, am ddiferlif ei haflendid.

31 Felly y neilldüwch blant Israel oddi wrth eu haflendid; fel na byddant feirw yn eu haflendid; pan halogant fy mhabell yr hon *sydd* yn eu mysg.

32 Dyma gyfraith yr hwn y byddo 'r diferlif arno, a'r hwn y daw oddi wrtho ddisgyniad had, fel y byddo aflan o'u herwydd;

33 A'r glaf o'i mis-glwyf, a'r neb y byddo y diferlif arno, o wryw, ac o fenyw, ac i'r gwr a orweddo ynghŷd â'r hon a fyddo aflan.

## PEN. XVI.

1 *Y modd y mae i'r arch-offeiriad fyned i mewn i'r cyssegr.* 11 *Y pech-aberth drosto ei hun.* 15 *Y pech-aberth dros y bobl.* 20 *Yr afr ddïangol.* 29 *Gwyl y cymmod bob blwyddyn.*

LLEFARODD yr Arglwydd hefyd wrth Moses, wedi [a] marwolaeth dau fab Aaron, pan offrymmasant ger bron yr Arglwydd, ac y buant feirw; 1490.

a Pen. 10. 2.

2 A dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Llefara wrth Aaron dy frawd, [b] na ddelo bob amser i'r cyssegr o fewn y wahanlen, ger bron y drugareddfa *sydd* ar yr arch; fel na byddo efe farw: o herwydd [c] mi a ymddangosaf ar y drugareddfa yn y cwmmwl.

b Exod. 30. 10. Pen. 23. 27. Heb. 9. 7.
c Exod. 40. 35. 1 Bren. 8. 12.

3 A hyn y daw Aaron i'r cyssegr: [d] â bustach ieuangc yn bech-aberth, ac â hwrdd yn boeth-offrwm.

d Pen. 4. 3.

4 Gwisged [e] bais lïain sanctaidd, a bydded llodrau llïain am ei gnawd, a gwregyser ef â gwregys llïain, a gwisged feitr llïain: gwisgoedd sanctaidd *yw* 'r rhai hyn; [f] golched yntau ei gnawd mewn dwfr, pan wisgo hwynt.

e Exod. 28. 39, 43.
f Exod. 30. 20.

5 A chymmered gan gynnulleidfa meibion Israel ddau lwdn gafr yn bech-aberth, ac un hwrdd yn boeth-offrwm.

6 Ac offrymmed Aaron fustach y pechaberth *a fyddo* drosto ei hun, a [g] gwnaed gymmod drosto ei hun, a thros ei dŷ.

g Heb. 7. 27, 28. a 9. 7.

7 A chymmered y ddau fwch, a gosoded hwynt ger bron yr Arglwydd, *wrth* ddrws pabell y cyfarfod.

8 A rhodded Aaron goelbrennau ar y ddau fwch; un coelbren dros yr Arglwydd, a'r coelbren arall dros † y bwch dïangol.

† Heb. *Azazel.*

9 A dyged Aaron y bwch y ‡ syrthiodd

‡ Heb. *dyrchafodd.*

coelbren yr ARGLWYDD arno, ac offrym-
med ef yn bech-aberth.
10 A'r bwch y syrthiodd arno y coelbren
i fod yn fwch dïangol, a roddir i sefyll yn
fyw ger bron yr ARGLWYDD, i wneuthur
cymmod ag ef, *ac* i'w ollwng i'r anialwch
yn fwch dïangol.
11 A dyged Aaron fustach y pech-aberth
*a fyddo* drosto ei hun, a gwnaed gymmod
drosto ei hun, a thros ei dŷ; a lladded fus-
tach y pech-aberth *a fyddo* drosto ei hun.
12 A chymmered lonaid thusser o farwor
tanllyd oddi ar yr allor, oddi ger bron yr
ARGLWYDD, a llonaid ei ddwylaw o
h Exod. 30. 34. [h] arogl-darth peraidd mân, a dyged o fewn
y wahanlen.
13 A rhodded yr arogl-darth ar y tân, ger
bron yr ARGLWYDD; fel y cuddio mwg yr
arogl-darth y drugareddfa, yr hon *sydd* ar
y dystiolaeth, ac na byddo efe farw.
i Heb. 9. 13, 25. a 10. 4. 14 A [i] chymmered o waed y bustach, a
k Pen. 4. 6. [k] thaenelled â'i fys ar y drugareddfa tu a'r
dwyrain: a saith waith y taenella efe o'r
gwaed â'i fys o flaen y drugareddfa.
15 ¶ Yna lladded fwch y pech-aberth
*fydd* dros y bobl, a dyged ei waed ef o fewn
y wahanlen; a gwnaed *â'i* waed ef megis
ag y gwnaeth â gwaed y bustach, a thaen-
elled ef ar y drugareddfa, ac o flaen y dru-
gareddfa.
l Edrych Exod. 29. 36. 16 A [l] glanhâed y cyssegr oddi wrth af-
lendid meibion Israel, ac oddi wrth eu han-
Heb. 9. 23. wireddau, yn eu holl bechodau: a gwnaed
yr un modd i babell y cyfarfod, yr hon sydd
yn aros gyd â hwynt, ym mysg eu haflen-
did hwynt.
m Luc 1. 10. 17 [m] Ac na fydded un dyn ym mhabell y
cyfarfod, pan ddelo efe i *mewn* i wneuthur
cymmod yn y cyssegr, hyd oni ddelo efe
allan, a gwneuthur o hono ef gymmod
drosto ei hun, a thros ei dŷ, a thros holl
gynnulleidfa Israel.
18 Ac aed efe allan at yr allor *sydd* ger
bron yr ARGLWYDD, a gwnaed gymmod
arni; a chymmered o waed y bustach, ac o
waed y bwch, a rhodded ar gyrn yr allor
oddi amgylch.
19 A thaenelled arni o'r gwaed seithwaith
â'i fys, a glanhâed hi, a sancteiddied hi oddi
wrth aflendid meibion Israel.
20 ¶ A phan ddarffo iddo lanhâu 'r cys-
segr, a phabell y cyfarfod, a'r allor; dyged
y bwch byw.
21 A gosoded Aaron ei ddwylaw ar ben y
bwch byw, a chyffesed arno holl anwiredd
meibion Israel, a'u holl gamweddau hwynt
yn eu holl bechodau; a rhodded hwynt ar
ben y bwch, ac anfoned *ef ymaith* yn llaw
† Heb. cyfamser. gwr † cymmwys i'r anialwch.
22 A'r bwch a ddwg eu holl anwiredd
‡ anghyfanedd. hwynt arno, i dir ‡ neillduaeth: am hynny
hebrynged efe 'r bwch i'r anialwch.
23 Yna deued Aaron i babell y cyfarfod,
a dïosged y gwisgoedd llïain a wisgodd efe
wrth ddyfod i'r cyssegr, a gadawed hwynt
yno.
24 A golched ei gnawd mewn dwfr yn y
lle sanctaidd, a gwisged ei ddillad, ac aed
allan, ac offrymmed ei boeth-offrwm ei
hun, a phoeth-offrwm y bobl, a gwnaed
gymmod drosto ei hun, a thros y bobl.
n Pen. 4. 10. 25 A llosged [n] wer y pech-aberth ar yr allor.
26 A golched yr hwn a anfonodd y bwch
i *fod* yn fwch dïangol, ei ddillad, a golched
ei gnawd mewn dwfr; ac yna deued i'r
gwersyll.
27 [o] A bustach y pech-aberth, a bwch y o Pen. 4. 12,
pech-aberth, y rhai y dygwyd eu gwaed i 21. a 6. 30.
wneuthur cymmod yn y cyssegr, a ddwg *un* Heb. 13. 11.
i'r tu allan i'r gwersyll; a hwy a losgant
eu crwyn hwynt, a'u cnawd, a'u biswail,
yn tân.
28 A golched yr hwn a'u llosgo hwynt ei
ddillad, golched hefyd ei gnawd mewn
dwfr; wedi hynny deued i'r gwersyll.
29 ¶ A bydded *hyn* yn ddeddf dragy-
wyddol i chwi: [p] y seithfed mis, ar y degfed p Exod. 30. 10.
*dydd* o'r mis, y cystuddiwch eich eneidiau, Pen. 23. 27.
a dim gwaith ni's gwnewch, y prïodor a'r Num. 29. 7.
dïeithr a fyddo yn ymdaith yn eich plith.
30 O herwydd y dydd hwnnw y gwna'r
*offeiriad* gymmod drosoch, i'ch glanhâu o'ch
holl bechodau, *fel* y byddoch lân ger bron
yr ARGLWYDD.
31 Sabboth gorphwysdra *yw* hwn i chwi;
yna cystuddiwch eich eneidiau, trwy ddeddf
dragywyddol.
32 [q] A'r offeiriad, yr hwn a enneinio efe, q Pen. 4. 3,
a'r hwn a § gyssegro efe, i offeiriadu yn lle 5, 16.
ei dad, a wna 'r cymmod, ac a wisg y § Heb.
gwisgoedd llïain, *sef* y gwisgoedd sanctaidd. *lanwo ei law.*
33 Ac a lanhâ 'r cyssegr sanctaidd, ac a
lanhâ babell y cyfarfod, a'r allor; ac a
wna gymmod dros yr offeiriaid, a thros
holl bobl y gynnulleidfa.
34 A bydded hyn yn ddeddf dragywydd-
ol i chwi, i wneuthur cymmod dros feib-
ion Israel, am eu pechodau oll, [r] un waith r Exod. 30.
yn y flwyddyn. Ac efe a wnaeth megis 10.
y gorchymynodd yr ARGLWYDD wrth Heb. 9. 7.
Moses.

## PEN. XVII.

1 *Rhaid yw offrwm i'r Arglwydd wrth ddrws*
*y babell waed yr holl anifeiliaid a leddir.*
*7 Ni wasanaetha iddynt aberthu i gythreul-*
*iaid. 10 Gwahardd bwytta gwaed, 15 a*
*phob peth a fo marw ei hun, neu a ysgly-*
*faethwyd.*

A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, 1490.
gan ddywedyd,
2 Llefara wrth Aaron, ac wrth ei feibion,
ac wrth holl feibion Israel, a dywed wrth-
ynt, Dyma 'r peth a orchymynodd yr AR-
GLWYDD, gan ddywedyd,
3 Pob un o dŷ Israel [a] a laddo ŷch, neu a Edrych
oen, neu afr, o fewn y gwersyll, neu a Deut. 12.
laddo allan o'r gwersyll, 5, 15, 21.
4 Ac heb ei ddwyn i ddrws pabell y cyf-
arfod, i offrymmu offrwm i'r ARGLWYDD,
o flaen tabernacl yr ARGLWYDD; gwaed
a fwrir yn erbyn y gwr hwnnw; gwaed a
dywalltodd efe: a thorrir y gwr hwnnw
ymaith o blith ei bobl.
5 O herwydd yr hwn beth, dyged meib-
ion Israel eu haberthau y rhai y maent yn
eu haberthu ar wyneb y maes; ïe dygant
hwynt i'r ARGLWYDD, i ddrws pabell y
cyfarfod, at yr offeiriad, ac aberthant hwynt
yn aberthau hedd i'r ARGLWYDD.
6 A thaenelled yr offeiriad y gwaed ar
allor yr ARGLWYDD, wrth ddrws pabell y
cyfarfod, a llosged y gwer [b] yn arogl peraidd b Exod. 29.
i'r ARGLWYDD. 18. Pen. 4. 31.
7 Ac nac aberthant eu haberthau mwy c Deut. 32.
[c] i gythreuliaid, y rhai [d] y buant yn putteinio 17.
ar eu hol. Deddf dragywyddol fydd hyn 2 Chron.
iddynt, trwy eu cenhedlaethau. 11. 15. Esay 13. 21.
8 ¶ Dywed gan hynny wrthynt, Pwy 1 Cor. 10.
bynnag o dŷ Israel, ac o'r dïeithriaid a ym- 20. Dat 9. 20.
deithio yn eich mysg, a offrymmo boeth- d Ezec. 23.
offrwm, neu aberth; 8.

9 Ac ni's dwg ef i ddrws pabell y cyfar-
fod, i'w offrymmu i'r ARGLWYDD; torrir
ymaith y gwr hwnnw o blith ei bobl.
10 ¶ [e] A phwy bynnag o dŷ Israel, ac
o'r dïeithriaid a ymdeithio yn eich mysg, a
fwyttao ddim gwaed; [f] mysi a osodaf fy
wyneb yn erbyn yr enaid a fwyttao waed, a
thorraf ef ymaith o fysg ei bobl.
11 O herwydd einioes y cnawd sydd yn y
gwaed; a mi a'i rhoddais i chwi ar yr allor,
i wneuthur cymmod dros eich eneidiau: o
herwydd [g] y gwaed hwn a wna gymmod
dros yr enaid.
12 Am hynny y dywedais wrth feibion
Israel, Na fwyttâed un enaid o honoch
waed; a'r dïeithr a ymdeithio yn eich
mysg, na fwyttâed waed.
13 A phwy bynnag o feibion Israel, neu
o'r dïeithriaid a ymdeithio yn eu mysg,
[h] a helio helfa o fwystfil, neu o aderyn a
fwyttâer; tywallted ymaith ei waed ef, a
chuddied ef â llwch.
14 [i] O herwydd einioes pob cnawd yw ei
waed; yn lle ei einioes ef y mae: am hynny
y dywedais wrth feibion Israel, Na fwyt-
tëwch waed un cnawd; o herwydd einioes
pob cnawd yw ei waed: pwy bynnag a'i
bwyttao, a dorrir ymaith.
15 [k] A phob dyn a'r a fwyttao † y peth
a fu farw *o hono ei hun*, neu ysglyfaeth, pa
un bynnag ai prïodor, ai dïeithrddyn;
golched ei ddillad, ac ymolched mewn dwfr,
a bydded aflan hyd yr hwyr: yna glân fydd.
16 Ond os efe ni's gylch *hwynt*, ac ni ylch
ei gnawd; yna y dwg efe ei anwiredd.

[e] Gen. 9. 4. Pen. 7. 26. a 19. 26. Deut. 12. 16, 23. a 15. 23. 1 Sam. 14. 33. Ezec. 44. 7.
[f] Jer. 44. 11.
[g] Heb. 9. 22.
[h] Pen. 7. 26.
[i] Gen. 9. 4.
[k] Exod. 22. 31. Pen. 22. 8. Ezec. 44. 31.
† Heb. *burgyn.*

## PEN. XVIII.

Chwefr. 12. B.

1 *Prïodasau anghyfreithlon.* 19 *Chwantau anghyfreithlon.*

1490. A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses,
gan ddywedyd,
2 Llefara wrth feibion Israel, a dywed
wrthynt, Myfi *yw* yr ARGLWYDD eich
Duw.
3 Na wnewch yn ol gweithredoedd gwlad
yr Aipht, yr hon y trigasoch ynddi; ac
na wnewch [a] yn ol gweithredoedd gwlad
Canaan, yr hon yr ydwyf yn eich dwyn
chwi iddi; ac na rodiwch yn eu deddfau
hwynt.
4 Fy marnedigaethau i a wnewch, a'm
deddfau a gedwch, i rodio ynddynt: myfi
*yw* yr ARGLWYDD eich Duw.
5 Ie cedwch fy neddfau a'm barnedi-
gaethau: a'r [b] dyn a'u cadwo, a fydd byw
ynddynt: myfi *yw* yr ARGLWYDD.
6 ¶ Na nesâed neb at † gyfnesaf ei
gnawd, i ddinoethi *eu* noethni: myfi *yw*
yr ARGLWYDD.
7 Noethni dy dad, neu noethni dy fam,
na ddinoetha: dy fam yw hi, na ddinoetha
ei noethni.
8 [c] Na ddinoetha noethni gwraig dy dad:
noethni dy dad *yw*.
9 [d] Noethni dy chwaer, merch dy dad,
neu ferch dy fam, yr hon a anwyd gartref,
neu a anwyd allan; na ddinoetha eu
noethni hwynt.
10 Noethni merch dy fab, neu ferch dy
ferch; na ddinoetha eu noethni hwynt:
canys dy noethni di *ydyw*.
11 Noethni merch gwraig dy dad, plentyn
dy dad, dy chwaer dithau *yw* hi; na ddi-
noetha ei noethni hi.
12 [e] Na ddinoetha noethni chwaer dy
dad: cyfnesaf dy dad *yw* hi.

[a] Pen. 20. 23.
[b] Ezec. 20. 11, 13. Luc 10. 28. Rhuf. 10. 5. Gal. 3. 12.
† Heb. *weddill.*
[c] Pen. 20. 11. Deut. 22. 30. a 27. 20. Ezec. 22. 10. Amos 2. 5. 1 Cor. 5. 1.
[d] Pen. 20. 17. 2 Sam. 13. 11. Ezec. 22. 11.
[e] Pen. 20. 19.

13 Na ddinoetha noethni chwaer dy
fam: canys cyfnesaf dy fam *yw* hi.
14 [f] Na noetha noethni brawd dy dad; sef
na nesâ at ei wraig ef: dy fodryb *yw* hi.
15 [g] Na noetha noethni dy waudd: gwraig
dy fab *yw* hi; na noetha ei noethni hi.
16 [h] Na ddinoetha noethni gwraig dy
frawd: noethni dy frawd *yw*.
17 [i] Na noetha noethni gwraig a'i merch;
na chymmer ferch ei mab hi, neu ferch ei
merch hi, i noethi ei noethni hi; ei chyfnesaf
hi *yw* y rhai hyn: ysgelerder *yw* hyn.
18 Hefyd na chymmer wraig ynghŷd ‡ â'i
chwaer, i'w chystuddio *hi*, gan noethi
noethni honno gyd â'r llall, yn ei byw hi.
19 Ac [k] na nesâ at wraig yn neillduaeth
ei haflendid, i noethi ei noethni hi.
20 Ac [l] na chyd-orwedd gyd â gwraig dy
gymmydog, i fod yn aflan o'i phlegid.
21 Ac na ddod o'th had [m] i fyned trwy
*dân* i Moloch; ac na haloga enw dy DDUW:
myfi *yw* yr ARGLWYDD.
22 Ac [n] na orwedd gyd â gwrryw, fel gor-
wedd gyd â benyw: ffieidd-dra *yw* hynny.
23 Ac [o] na chyd-orwedd gyd ag un anifail,
i fod yn aflan gyd ag ef; ac na safed gwraig
o flaen un anifail i orwedd dano: § cym-
mysgedd *yw* hynny.
24 Nac ymhalogwch yn yr un o'r pethau
hyn: canys yn y rhai hyn oll yr halogwyd y
cenhedloedd yr ydwyf yn eu gyrru allan
o'ch blaen chwi.
25 A'r wlad a halogwyd: am hynny yr
ydwyf yn ymweled â'i hanwiredd yn ei her-
byn, fel y chwydo'r wlad ei thrigolion.
26 Ond [p] cedwch chwi fy neddfau a'm
barnedigaethau i, ac na wnewch ddim o'r
holl ffiaidd bethau hyn; na'r prïodor, na'r
dïeithrddyn sydd yn ymdaith yn eich mysg:
27 (O herwydd yr holl ffiaidd bethau hyn
a wnaeth gwŷr y wlad, y rhai *a fu* o'ch
blaen, a'r wlad a halogwyd)
28 Fel [q] na chwydo'r wlad chwithau,
pan halogoch hi, megis y chwydodd hi'r
genedl *oedd* o'ch blaen.
29 Canys pwy bynnag a wnel ddim o'r
holl ffiaidd bethau hyn, torrir ymaith yr
eneidiau a'u gwnelo o blith eu pobl.
30 Am hynny cedwch fy neddf i, [r] heb
wneuthur *yr un* o'r deddfau ffiaidd a wnaed
o'ch blaen chwi, ac nac ymhalogwch yn-
ddynt: myfi *yw* yr ARGLWYDD eich Duw
chwi.

[f] Pen. 20. 20.
[g] Pen. 20. 12. Ezec. 22. 11.
[h] Pen. 20. 21. Mat. 14. 4. Efr. Deut. 25. 5.
[i] Pen. 20. 14.
‡ Neu, *â gwraig arall.*
[k] Pen. 20. 18. Ezec. 18. 6. a 22. 11.
[l] Exod. 20. 14.
[m] Pen. 20. 2. 2 Bren. 23. 10.
[n] Pen. 20. 13. 1 Cor. 6. 9. 1 Tim. 1. 10.
[o] Exod. 22. 19. Pen. 20. 15, 16.
§ *ffieidd-beth.*
[p] Pen. 20. 22.
[q] Jer. 9. 19. Ezec. 36. 13, 17.
[r] Act. 3. Pen. 20. 23.

## PEN. XIX.

Chwefr. 12. P.

*Ail-adrodd amryw gyfreithiau.*

A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, 1490.
gan ddywedyd,
2 Llefara wrth holl gynnulleidfa meib-
ion Israel, a dywed wrthynt, [a] Byddwch
sanctaidd: canys sanctaidd *ydwyf* fi, yr AR-
GLWYDD eich Duw chwi.
3 ¶ [b] Ofnwch bob un ei fam, a'i dad; a
[c] chedwch fy Sabbothau: yr ARGLWYDD
eich Duw *ydwyf* fi.
4 [d] Na throwch at eilunod, ac [e] na
wnewch i chwi dduwiau tawdd: yr AR-
GLWYDD eich Duw *ydwyf* fi.
5 ¶ A [f] phan aberthoch hedd-aberth i'r
ARGLWYDD, yn ol eich ewyllys eich hun
yr aberthwch hynny.
6 Ar y dydd yr offrymmoch, a thran-
noeth, y bwyttâir ef: a llosger yn tân yr
hyn a weddillir hyd y trydydd dydd.
7 Ond os gan fwytta y bwyttâir ef o
fewn y trydydd dydd, ffiaidd *fydd* efe; ni
bydd gymmeradwy.

[a] Pen. 11. 44. a 20. 7, 26. 1 Petr 1. 16.
[b] Exod. 20. 12.
[c] Exod. 20. 8. a 31. 13.
[d] Exod. 20. 4.
[e] Exod. 34. 17. Deut. 27. 15.
[f] Pen. 7. 16.

8 A'r hwn a'i bwyttao a ddwg ei anwir-
edd, am iddo halogi cyssegredig *beth* yr ARGLWYDD; a'r enaid hwnnw a dorrir ymaith
o blith ei bobl.
9 ¶ A [g] phan gynhauafoch gynhauaf eich
tir, na ieda yn llwyr gonglau dy faes, ac na
chynnull loffion dy gynhauaf.
10 Na loffa hefyd dy winllan, ac na chyn-
null rawn gweddill dy winllan; gad hwynt
i 'r tlawd ac i 'r dieithr: yr ARGLWYDD
eich Duw chwi *ydwyf* fi.
11 ¶ [h] Na ladrattêwch, ac na ddywedwch
gelwydd, ac na thwyllwch bob un ei gym-
mydog.
12 ¶ Ac [i] na thyngwch i'm henw i yn
anudon, ac na haloga enw dy DDUW: yr
ARGLWYDD *ydwyf* fi.
13 ¶ [k] Na cham-attal oddi wrth dy gym-
mydog, ac na yspeilia ef: [l] na thriged cy-
flog y gweithiwr gyd â thi hyd y bore.
14 ¶ Na felldiga 'r byddar, ac [m] na ddod
dramgwydd o flaen y dall; ond ofna dy
DDUW: yr ARGLWYDD *ydwyf* fi.
15 ¶ Na wnewch gam mewn barn; [n] na
dderbyn wyneb y tlawd, ac na pharcha
wyneb y cadarn: barna dy gymmydog
mewn cyfiawnder.
16 ¶ Ac [o] na rodia yn athrodwr ym
mysg dy bobl; na saf yn erbyn gwaed dy
gymmydog: yr ARGLWYDD *ydwyf* fi.
17 ¶ [p] Na chasâ dy frawd yn dy galon:
[q] gan geryddu cerydda dy gymmydog, † ac
na ddïoddef bechod ynddo.
18 ¶ [p] Na ddïala, ac na chadw lid i feib-
ion dy bobl; ond [r] car dy gymmydog megis
ti dy hun: yr ARGLWYDD *ydwyf* fi.
19 ¶ Cedwch fy neddfau: na ad i'th
anifeiliaid gydio o amryw rywogaeth; [s] ac
na haua dy faes ag amryw had; ac nac
aed am danat ddilledyn cymmysg o lin a
gwlan.
20 ¶ A phan fyddo i wr a wnelo â be-
nyw, a hithau yn forwyn gaeth wedi ei
‡ dyweddïo i wr, ac heb ei rhyddhâu ddim,
neu heb roddi rhyddid iddi; bydded § *iddynt*
gurfa; ac na ladder hwynt, am nad oedd hi
rydd.
21 A [t] dyged efe yn aberth dros ei gam-
wedd i'r ARGLWYDD, i ddrws pabell y
cyfarfod, hwrdd dros gamwedd.
22 A gwnaed yr offeiriad gymmod drosto
â'r hwrdd dros gamwedd, ger bron yr ARGLWYDD, am ei bechod a bechodd efe:
a maddeuir iddo am ei bechod a wnaeth
efe.
23 ¶ A phan ddeloch i 'r tir, a phlannu o
honoch bob pren ymborth; cyfrifwch yn
ddïenwaededig ei ffrwyth ef: tair blynedd
y bydd efe megis dïenwaededig i chwi: na
fwyttâer o hono.
24 A'r bedwaredd flwyddyn y bydd ei
holl ffrwyth yn ‖ sanctaidd i foliannu 'r
ARGLWYDD *ag ef.*
25 A'r bummed flwyddyn y bwyttêwch
ei ffrwyth, fel y 'chwanego efe ei gnwd
i chwi: myfi *yw* yr ARGLWYDD eich
DUW.
26 ¶ [u] Na fwyttêwch ddim ynghŷd â'i
waed: [x] nac arferwch na swynion, na choel
ar frudiau.
27 [y] Na thalgrynnwch odre eich pen, ac
na thor gyrrau dy farf.
28 Ac [z] na wnewch dorriadau yn eich
cnawd am un marw, ac na roddwch brint
nôd arnoch: yr ARGLWYDD *ydwyf* fi.
29 ¶ Na haloga dy ferch, gan beri iddi

[g] Pen. 23. 22. Deut. 24. 19. Ruth 2. 15, 16. [h] Exod. 20. 15. a 22. 1, 7, 10. Pen. 6. 2. [i] Exod. 20. 7. Pen. 6. 3. Deut. 5. 11. Mat. 5. 34. Iago 5. 12. [k] Eccl. 10. 6. [l] Deut. 24. 14, 15. Mal. 3. 5. Tob. 4. 14. Iago 5. 4. [m] Deut. 27. 18. [n] Exod. 23. 3. Deut. 1. 17. a 16. 19. a 27. 19. Diar. 24. 23. Iago 2. 6. [o] Exod. 23. 1. Psalm 15. 3. a 50. 20. Diar. 11. 13. a 20. 19. [p] 1 Ioan 2. 11. a 3. 15. [q] Eccl. 19. 13. Mat. 18. 15. Luc 17. 3. Gal. 6. 1. Eph. 5. 11. 1 Tim. 5. 20. † Neu, *rhag it' ddwyn pechod drosto.* Eph. 5. 11. ‡ Eirych Rhuf. 1. 32. 1 Cor. 5. 2. Eph. 5. 11. 1 Tim. 5. 22. 2 Ioan 10. 11. [r] Mat. 5. 43. a 22. 39. Rhuf. 13. 9. Gal. 5. 14. Iago 2. 8. [s] Deut. 22. 9, 10, 11. ‡ Neu, *ammherchi gan neb.* Heb. *enllibio gan, neu, am wr.* § Neu, *iddi.* [t] Pen. 5. 15. ‖ *sancteiddrwydd moliant i 'r,* &c. [u] Pen. 17. 10, &c. [x] Deut. 18. 10. 1 Sam. 15. 23. [y] Pen. 21. 5. [z] Deut. 14. 1. Jer. 16. 6.

butteinio; rhag putteinio'r tir, a llenwi 'r
wlad o ysgelerder.
30 ¶ [a] Cedwch fy Sabbothau, a pherch-
wch fy nghyssegr: yr ARGLWYDD *yd-
wyf* fi.
31 ¶ [b] Nac ewch ar ol dewiniaid, ac
nac ymofynwch â'r brudwŷr, i ymhalogi
o'u plegid: yr ARGLWYDD eich DUW *yd-
wyf* fi.
32 ¶ Cyfod ger bron penwŷnni, a phar-
cha wyneb henuriad; ac ofna dy DDUW:
yr ARGLWYDD *ydwyf* fi.
33 ¶ A [c] phan ymdeithio dïeithrddyn
ynghŷd â thi yn eich gwlad, na † flinwch
ef.
34 [d] Bydded y dïeithr i chwi, yr hwn a
ymdeithio yn eich plith, fel yr un a hanffo
o honoch, a [e] châr ef fel ti dy hun; o he-
rwydd dïeithriaid fuoch yngwlâd yr Aipht:
yr ARGLWYDD eich DUW *ydwyf* fi.
35 ¶ Na wnewch gam ar farn, ar lathen,
ar bwys, nac ar fesur.
36 Bydded iwch' [f] gloriannau cyfiawn,
‡ gerrig cyfiawn, ephah gyfiawn, a hin gyf-
iawn: yr ARGLWYDD eich DUW *ydwyf*
fi, yr hwn a'ch dygais allan o dir yr
Aipht.
37 Cedwch chwithau fy holl ddeddfau,
a'm holl farnedigaethau, a gwnewch hwynt:
yr ARGLWYDD *ydwyf* fi.

[a] Pen. 26. 2. [b] Pen. 20. 6, 27. Deut. 18. 10. Esay 8. 19. Act. 16. 16. [c] Exod. 22. 21. a 23. 9. † *orthrymmwch.* [d] Exod. 23. 9. [e] Deut. 10. 19. [f] Deut. 25. 13. Diar. 11. 1. a 16. 11. a 20. 10. ‡ *bwysau.*

## PEN. XX.

1 *Am yr hwn a roddo ei had i Moloch.* 4 *Am
yr hwn a arbedo 'r cyfryw.* 6 *Am fyned at
frudwŷr.* 7 *Am ymsancteiddio.* 9 *Am yr
hwn a fellditho ei rïeni.* 10 *Am odineb.*
11, 14, 17, 19 *Am ymlosgach.* 13 *Am or-
wedd gyd â gwrryw,* 15 *neu gyd ag ani-
fail.* 18 *Am afiendid.* 22 *Gorchymyn
ufudd-dod gyd â sancteiddrwydd.* 27
*Rhaid yw rhoddi brudwŷr i farwolaeth.*

Chwef. 13. B.

A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, 1490.
gan ddywedyd,
2 [a] Dywed hefyd wrth feibion Israel,
[b] Pob un o feibion Israel, neu o'r dïeithr a
ymdeithio yn Israel, yr hwn a roddo o'i
had i Moloch, a leddir yn farw; pobl y tir
a'i llabyddiant ef â cherrig.
3 A [c] mi a osodaf fy wyneb yn erbyn y
dyn hwnnw, ac a'i torraf o fysg ei bobl;
am iddo roddi o'i had i Moloch, i aflan-
hâu fy nghyssegr, ac i halogi fy enw sanct-
aidd.
4 Ac os pobl y wlad gan guddio a gudd-
iant eu llygaid oddi wrth y dyn hwnnw
(pan roddo efe ei had i Moloch) ac ni's
lladdant ef:
5 Yna [d] y gosodaf fy wyneb yn erbyn y
dyn hwnnw, ac [e] yn erbyn ei dylwyth, a
thorraf ymaith ef, a phawb [f] a ddilynant
ei butteindra ef, gan butteinio yn ol Mo-
loch, o fysg eu pobl.
6 ¶ [g] A'r dyn a dro ar ol dewiniaid, a
brudwŷr, i butteinio ar eu hol hwynt;
gosodaf fy wyneb yn erbyn y dyn hwnnw
hefyd, a thorraf ef ymaith o fysg ei bobl.
7 ¶ [h] Ymsancteiddiwch gan hynny, a
byddwch sanctaidd: canys myfi *yw* yr ARGLWYDD eich DUW chwi.
8 Cedwch hefyd fy neddfau, a gwnewch
hwynt: myfi *yw* yr ARGLWYDD eich sanct-
eiddydd.
9 ¶ [i] Os bydd neb a felldigo ei dad neu
ei fam, lladder ef yn farw: ei dad neu ei
fam a felldigodd efe; ei waed *fydd* arno ei
hun.

[a] Pen. 18. 21. [b] Deut. 18. 10. 2 Bren. 17. 17. a 23. 10. Jer. 32. 35. [c] Pen. 17. 10. [d] Pen. 17. 10. [e] Exod. 20. 5. [f] Pen. 17. 7. [g] Pen. 19. 31. [h] Pen. 11. 44. a 19. 2. 1 Petr 1. 16. [i] Exod. 21. 17. Deut. 27. 16. Diar. 20. 20. Mat. 15. 4.

10 ¶ [k] A'r gwr a odinebo gyd â gwraig gwr *arall, sef yr hun* a odinebo gyd â gwraig ei gymmydog, lladder yn farw y godinebwr a'r odinebwraig.

[k] Pen. 18. 20. Deut. 22. 22. Ioan 8. 4, 5.

11 [l] A'r gwr a orweddo gyd â gwraig ei dad, a noethodd noethni ei dad: lladder yn feirw hwynt ill dau; eu gwaed *sydd* arnynt eu hunain.

[l] Pen. 18. 8.

12 [m] Am y gwr a orweddo ynghyd â'i waudd, lladder yn feirw hwynt ill dau: cymmysgedd a wnaethant; eu gwaed *sydd* arnynt eu hunain.

[m] Pen. 18. 15. Deut. 27. 23.

13 [n] A'r gwr a orweddo gyd â gwr, fel gorwedd gyd â gwraig, ffieidd-dra a wnaethant ill dau: lladder hwynt yn feirw; eu gwaed *sydd* arnynt eu hunain.

[n] Pen. 18. 22.

14 [o] Y gwr a gymmero wraig a'i mam, ysgelerder *yw* hynny: llosgant ef a hwythau yn tân; ac na fydded ysgelerder yn eich mysg.

[o] Pen. 18. 17. Deut. 27. 23.

15 [p] A lladder yn farw y gwr a ymgydio ag anifail: lladdant hefyd yr anifail.

[p] Pen. 18. 23. Deut. 27. 21.

16 A'r wraig a el at un anifail, i orwedd dano, lladd di'r wraig a'r anifail hefyd: lladder hwynt yn feirw; eu gwaed *sydd* arnynt eu hunain.

17 [q] A'r gwr a gymmero ei chwaer, merch ei dad, neu ferch ei fam, ac a welo ei noethni hi, ac y gwelo hithau ei noethni yntau; gwaradwydd *yw* hynny; torrer hwythau ymaith yngolwg meibion eu pobl: noethni ei chwaer a noethodd efe; efe a ddwg ei anwiredd.

[q] Pen. 18. 9. Deut. 27. 22.

18 [r] A'r gwr a orweddo gyd â gwraig glaf o'i mis-glwyf, ac a noetho ei noethni hi; ei diferlif hi a † ddadguddiodd efe, a hithau a ddadguddiodd ddiferlif ei gwaed ei hun: am hynny torrer hwynt ill dau o fysg eu pobl.

[r] Pen. 18. 19. Edrych Pen. 15. 24. † Heb. *ddinoethodd.*

19 [s] Ac na noetha noethni chwaer dy fam, neu chwaer dy dad; o herwydd ei gyfnesaf ei hun y mae yn ei noethi: dygant eu hanwiredd.

[s] Pen. 18. 12, 13.

20 [t] A'r gwr a orweddo gyd â gwraig ei ewythr frawd ei dad, a noetha noethni ei ewythr: eu pechod a ddygant; byddant feirw yn ddiblant.

[t] Pen. 18. 14.

21 [u] A'r gwr a gymmero wraig ei frawd (‡ peth aflan *yw* hynny) efe a noethodd noethni ei frawd: diblant fyddant.

[u] Pen. 18. 16. ‡ *Heb. ysgarwedd.*

22 ¶ Am hynny cedwch fy holl [x] ddeddfau, a'm holl farnedigaethau, a gwnewch hwynt; fel [y] na chwydo 'r wlad chwi, yr hon yr ydwyf yn eich dwyn iddi i breswylio ynddi.

[x] Pen. 18, 26. [y] Pen. 18. 25, 28.

23 Ac [z] na rodiwch yn neddfau 'r genedl yr ydwyf yn ei bwrw allan o'ch blaen chwi: o herwydd yr holl bethau hyn a wnaethant; [a] am hynny y ffieiddiais hwynt.

[z] Pen. 18. 3, 30. [a] Deut. 9, 5.

24 Ac wrthych y dywedais, Chwi a etifeddwch eu tir hwynt; mi a'i rhoddaf i chwi i'w feddiannu; gwlad yn llifeirio o laeth a mel: myfi *yw* yr ARGLWYDD eich DUW chwi, yr hwn a'ch neillduais chwi oddi wrth bobloedd *eraill.*

25 [b] Rhoddwch chwithau wahaniaeth rhwng yr anifail glân a'r aflan, a rhwng yr aderyn aflan a'r glân; ac na wnewch eich eneidiau yn ffiaidd o herwydd anifail, neu o herwydd aderyn, neu o herwydd dim oll a § ymlusgo ar y ddaear, yr hwn a neillduais i chwi i'w gyfrif yn aflan.

[b] Pen. 11. 2. Deut. 14. 4. § Neu, *a ymsymmudo.*

26 Byddwch chwithau sanctaidd i mi: [c] o herwydd myfi 'r ARGLWYDD *ydwyf* sanctaidd, ac a'ch neillduais chwi oddi wrth bobloedd *eraill,* i fod yn eiddof fi.

[c] Ad. 7. Pen. 19. 2. 1 Petr 1. 16.

27 ¶ [d] Gwr neu wraig a fo ganddynt yspryd dewiniaeth, neu frud, hwy a leddir yn farw: â cherrig y llabyddiant hwynt; eu gwaed *sydd* arnynt eu hunain.

[d] Deut. 18. 10, 11. 1 Sam. 28. 7, 8.

## PEN. XXI.

1 *Am alar yr offeiriaid.* 6 *Am eu sancteiddrwydd.* 8 *Am eu cymmeriad.* 7, 13 *Am eu priodasau.* 16 *Ni chaiff yr offeiriaid a fo arnynt anaf weini yn y cyssegr.*

A Dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, 1490.
Llefara wrth yr offeiriaid, meibion Aaron, a dywed wrthynt, [a] Nac ymhaloged *neb* am y marw ym mysg ei bobl.

[a] Ezec. 44. 25.

2 Ond am ei gyfnesaf agos iddo; am ei fam, am ei dad, ac am ei fab, ac am ei ferch, ac am ei frawd,

3 Ac am ei chwaer o forwyn, yr hon sydd agos iddo, yr hon ni fu eiddo gwr: am honno y gall ymhalogi.

4 Nac ymhaloged † pennaeth ym mysg ei bobl, i'w aflanhau ei hun.

† Neu, *gwr priod am ei wraig.*

5 [b] Na wnant foelni ar eu pennau, ac nac eilliant gyrrau eu barfau, ac na thorrant dorriadau ar eu cnawd.

[b] Pen. 19. 27, 28. Deut. 14. 1. Ezec. 44. 20.

6 Sanctaidd fyddant i'w DUW, ac na halogant enw eu DUW: o herwydd offrymmu y maent ebyrth tanllyd yr ARGLWYDD, *a* [c] bara eu DUW; am hynny byddant sanctaidd.

[c] Edrych Pen. 3. 11.

7 [d] Na chymmerant butteinwraig, neu un halogedig, yn wraig: ac na chymmerant wraig wedi ysgar oddi wrth ei gwr; o herwydd sanctaidd *yw* efe i'w DDUW.

[d] Ezec. 44. 22.

8 A chyfrif di ef yn sanctaidd; o herwydd bara dy DDUW di y mae efe yn ei offrymmu: bydded sanctaidd it'; o herwydd sanctaidd *ydwyf* fi 'r ARGLWYDD eich sancteiddydd.

9 ¶ Ac os ‡ dechreu merch un offeiriad butteinio, halogi ei thad y mae: llosger hi yn tân.

‡ Neu, *ymhaloga, &c. gan butteinio.*

10 A'r offeiriad pennaf o'i frodyr, yr hwn y tywalltwyd [e] olew 'r enneiniad ar ei ben, ac [f] a gyssegrwyd i wisgo'r gwisgoedd, [g] na ddiosged oddi am ei ben, ac na rwyged ei ddillad;

[e] Exod. 30. 30. [f] Exod. 28. 2. Pen. 16. 32.

11 Ac na ddeued at gorph un marw, nac ymhaloged am ei dad, nac am ei fam:

[g] Pen. 10. 6.

12 Ac nac aed allan o'r cyssegr, ac na haloged gyssegr ei DDUW; am *fod* [h] coron olew enneiniad ei DDUW arno ef: myfi *yw* yr ARGLWYDD.

[h] Exod. 38. 36.

13 A [i] chymmered efe wraig yn ei morwyndod.

[i] Ezec. 44. 22.

14 Gwraig weddw, na gwraig wedi ysgar, nac un halogedig, *na* phuttain; y rhai hyn na chymmered: ond cymmered forwyn o'i bobl ei hun yn wraig.

15 Ac na haloged ei had ym mysg ei bobl: canys myfi *yw* yr ARGLWYDD ei sancteiddydd ef.

16 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

17 Llefara wrth Aaron, gan ddywedyd, Na nesâed un o'th had di trwy eu cenhedlaethau, yr hwn y byddo anaf arno, i offrymmu § bara ei DDUW:

§ Neu, *ymborth.*

18 Canys ni chaiff un gwr y byddo anaf arno nesâu; y gwr dall, neu'r cloff, neu'r trwyndwn, neu'r neb y byddo dim [k] gormod ynddo;

[k] Pen. 22. 23.

19 Neu'r gwr y byddo iddo droed twnn, neu law donn;

20 Neu a fyddo yn gefngrwn, neu'n || gorr, neu â magl neu bysen ar ei lygad,

|| Neu, *ry eiddil.*

neu'n grachlyd, neu yn glafrllyd, neu wedi
ysigo ei eirin.
21 Na nesâed un gwr o had Aaron yr
offeiriad, yr hwn y byddo anaf arno, i
offrymmu ebyrth tanllyd yr ARGLWYDD:
anaf sydd arno; na nesâed i offrymmu bara
ei DDUW.
22 Bara ei DDUW, o'r *pethau* sanctaidd
cyssegredig, ac o'r *pethau* cyssegredig, a
gaiff efe ei fwytta.
23 Etto nac aed i mewn at y wahanlen,
ac na nesâed at yr allor, am *fod* anaf arno;
ac na haloged fy nghyssegroedd: canys myfi
*yw* yr ARGLWYDD eu sancteiddydd hwynt.
24 A llefarodd Moses *hynny* wrth Aaron,
ac wrth ei feibion, ac wrth holl feibion
Israel.

## PEN. XXII.

1 *Rhaid i'r offeiriaid yn eu haflendid ymgadw oddi wrth y pethau cyssegredig.* 6 *Y modd y mae eu puro hwynt.* 10 *Pwy yn nhŷ'r offeiriaid a all fwytta o'r pethau cyssegredig.* 17 *Rhaid i'r aberthau fod yn ddianaf.* 26 *Oedran yr aberth.* 29 *Y gyfraith am fwytta'r aberth diolch.*

1490. A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses,
gan ddywedyd,
2 Llefara wrth Aaron, ac wrth ei feibion,
am iddynt ymneillduo oddi wrth bethau
cyssegredig meibion Israel, ac na halogant
fy enw sanctaidd, *yn y pethau* y maent yn
eu cyssegru i mi: myfi *yw* yr ARGLWYDD.
3 Dywed wrthynt, Pwy bynnag o'ch holl
hiliogaeth, trwy eich cenhedlaethau, a nesao
at y pethau cyssegredig a gyssegro meibion
Israel i'r ARGLWYDD, a'i aflendid
arno; torrir ymaith yr enaid hwnnw oddi
ger fy mron: myfi *yw* yr ARGLWYDD.
4 Na fwyttâed neb o hiliogaeth Aaron o'r
pethau cyssegredig, ac yntau yn wahan-
[a] Pen. 15. 2. glwyfus, neu [a] yn ddiferllyd, [b] hyd oni lan-
[b] Pen. 4. 2. a 15. 13. hâer ef: na'r hwn a [c] gyffyrddo â dim
wedi ei halogi wrth y marw, na'r hwn [d] yr
[c] Num. 19. 11. el oddi wrtho ddisgyniad had;
5 Na'r un a [e] gyffyrddo ag un ymlusgiad,
[d] Pen. 15. 16. trwy'r hwn y gallo fod yn aflan, neu â [f] dyn
[e] Pen. 12. 24. y byddai aflan o'i blegid, pa aflendid bynnag
fyddo arno:
[f] Pen. 15. 7, 19. 6 A'r dyn a gyffyrddo ag ef, a fydd aflan
hyd yr hwyr; ac na fwyttâed o'r pethau
cyssegredig, oddieithr iddo olchi ei gnawd
mewn dwfr.
7 A phan fachludo'r haul, glân fydd; ac
wedi hynny bwyttâed o'r pethau cyssegredig:
canys ei fwyd ef *yw* hwn.
[g] Exod. 22. 31. 8 Ac [g] na fwyttâed o ddim wedi marw ei
hun, neu wedi ei 'sglyfaethu, i fod yn aflan
Pen. 17. 15. Ezec. 44. 31. o'i blegid: myfi *yw* yr ARGLWYDD.
9 Ond cadwant fy neddf i, ac na ddygant
bechod *bob un* arnynt eu hunain, i farw o'i
blegid, pan halogant hi: myfi *yw* yr ARGLWYDD
eu sancteiddydd hwynt.
[h] Edrych 10 Ac [h] na fwyttâed un alldud o'r peth
1 Sam. 21. 6. cyssegredig: dïeithrddyn yr offeiriad, a'r
gwas cyflog, ni chaiff fwytta y peth cyssegredig.
† Heb. 11 Ond pan bryno'r offeiriad ddyn † am
*â gwerth ei arian.* ei arian, hwnnw a gaiff fwytta o hono, a'r
hwn a aner *yn* ei dŷ ef: y rhai hyn a gânt
fwytta o'i fara ef.
12 A merch yr offeiriad, pan fyddo hi
eiddo gwr dïeithr, ni chaiff hi fwytta o
offrwm y pethau cyssegredig.
13 Ond merch yr offeiriad, os gweddw
fydd hi, neu wedi ysgar, a heb blant iddi,
ac wedi dychwelyd i dŷ ei thad, a gaiff
fwytta o fara ei thad, [i] megis *yn* ei hieu- [i] Pen. 10.
engctid; ac ni chaiff neb dïeithr fwytta o 14.
hono.
14 ¶ A phan fwyttao un beth cyssegredig
mewn anwybod; yna chwaneged ei bummed
ran atto, a rhodded gyd a'r peth cyssegredig
i'r offeiriad.
15 Ac na halogant gyssegredig bethau
meibion Israel, y rhai a offrymmant i'r ARGLWYDD.
16 Ac na ‡ wnant iddynt ddwyn cosp ‡ Neu,
camwedd, pan fwyttaont eu cyssegredig *ymlwythant a*
bethau hwynt: o herwydd myfi *yw* yr *chosp.*
ARGLWYDD eu sancteiddydd.
17 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, gan ddywedyd,
18 Llefara wrth Aaron, ac wrth ei feibion,
ac wrth holl feibion Israel, a dywed
wrthynt, [k] Pwy bynnag o dŷ Israel, ac o [k] Pen. 1. 2,
ddïeithr yn Israel, a offrymmo ei offrwm 3, 10.
yn ol ei holl addunedau, ac yn ol ei holl
roddion gwirfodd, y rhai a offrymmant i'r
ARGLWYDD yn boeth-offrwm;
19 Offrymmwch wrth eich ewyllys eich
hun, un gwrryw perffeith-gwbl, o'r eidionau,
o'r defaid, neu o'r geifr.
20 [l] Nac offrymmwch ddim *y byddo* anaf [l] Deut. 15.
arno; o herwydd ni bydd efe gymmeradwy 21. a 17. 1.
drosoch. Mal. 1. 8.
21 A [m] phan offrymmo gwr aberth hedd [m] Pen. 3. 1.
i'r ARGLWYDD, gan neillduo *ei* adduned,
neu rodd ewyllysgar o'r eidionau, neu o'r
praidd, bydded berffeith-gwbl, fel y byddo
gymmeradwy: na fydded un anaf arno.
22 [n] Y dall, neu'r ysig, neu'r anafus, [n] Ad. 20.
neu'r dafadenog, neu'r crachlyd, neu'r
clafrllyd, nac offrymmwch hwy i'r ARGLWYDD,
ac na roddwch aberth tanllyd o
honynt ar allor yr ARGLWYDD.
23 A'r eidion, neu'r § oen a fyddo [o] gor- § Heb.
mod neu ry fychain ei aelodau, gellwch ei *mynn.*
offrymmu yn offrwm gwirfodd; ond dros [o] Pen. 21.
adduned ni bydd cymmeradwy. 18.
24 Nac offrymmwch i'r ARGLWYDD ddim
wedi llethu, neu ysigo, neu ddryllio, neu
dorri; ac na wnewch yn eich tir y *fath*
*beth.*
25 Ac nac offrymmwch o law un dïeithr
fwyd eich DUW o'r holl bethau hyn: canys
*y mae* eu llygredigaeth ynddynt; anaf *sydd*
arnynt: ni byddant gymmeradwy drosoch.
26 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, gan ddywedyd,
27 [p] Pan aner eidion, neu ddafad, neu [p] Exod. 22.
afr, bydded saith niwrnod dan ei fam; o'r 30. a 23.
wythfed dydd ac o hynny allan y bydd 19. a. 34.
cymmeradwy yn offrwm o aberth tanllyd i'r 26. Deut. 14.
ARGLWYDD. 21.
28 Ac am fuwch neu ‖ ddafad, na ledd- ‖ Neu,
wch hi [q] a'i llwdn yn yr un dydd. *afr.*
29 A phan aberthoch aberth diolch i'r [q] Deut. 22.
ARGLWYDD, offrymmwch wrth eich ewyllys 6.
eich hunain.
30 Y dydd hwnnw y bwyttâir ef; [r] na [r] Pen. 7.
weddillwch o hono hyd y bore: myfi *yw*'r 15.
ARGLWYDD.
31 Cedwch chwithau fy ngorchymynion,
a gwnewch hwynt: myfi *yw* yr ARGLWYDD.
32 Ac na halogwch fy enw sanctaidd, ond
[s] sancteiddier fi ym mysg meibion Israel: [s] Pen. 10. 3.
myfi *yw* yr ARGLWYDD eich sancteiddydd,
33 Yr hwn a'ch dygais chwi allan o dir
yr Aipht, i fod yn DDUW i chwi: myfi *yw*
yr ARGLWYDD.

## PEN. XXIII.

*1 Gwyliau'r Arglwydd. 3 Y Sabboth. 4 Y Pasg. 9 Yr ysgub blaen-ffrwyth. 15 Gwyl y Sulgwyn. 22 Rhaid iw gadael peth i'r tlodion i'w loffa. 23 Gwyl yr udgyrn. 26 Y dydd cymmod. 33 Gwyl y pebyll.*

1490. LLEFARODD yr ARGLWYDD hefyd wrth Moses, gan ddywedyd,

2 Llefara wrth feibion Israel, a dywed wrthynt, Gwyliau 'r ARGLWYDD, y rhai a gyhoeddwch yn gymmanfeydd sanctaidd, *ydyw* fy ngwyliau hyn.

3 [a] Chwe diwrnod y gwneir gwaith; a'r seithfed dydd y bydd Sabboth gorphwysdra, *sef* cymmanfa sanctaidd; dim gwaith ni's gwnewch: Sabboth *yw* efe i'r ARGLWYDD yn eich holl drigfannau.

[a] Exod. 20. 9. a 23. 12. a 31. 13. a 34. 21. Pen. 19. 3. Deut. 5. 13. Luc 13. 14.

4 ¶ Dyma wyliau 'r ARGLWYDD, y cymmanfeydd sanctaidd, y rhai a gyhoeddwch yn eu tymmor.

5 [b] O fewn y mis cyntaf, ar y pedwerydd *dydd* ar ddeg o'r mis, yn y cyfnos, *y bydd* Pasg yr ARGLWYDD.

[b] Exod. 12. 18. a 13. 3. a 23. 15. a 34. 18. Num. 9. 2. a 28. 16. Deut. 16. 1.

6 A'r pymthegfed dydd o'r mis hwnnw y bydd gwyl y bara croyw i'r ARGLWYDD: saith niwrnod y bwyttêwch fara croyw.

7 Ar y dydd cyntaf y bydd i'ch' gymmanfa sanctaidd: dim caethwaith ni chewch ei wneuthur.

8 Ond offrymmwch ebyrth tanllyd i'r ARGLWYDD saith niwrnod: ar y seithfed dydd *bydded* cymmanfa sanctaidd; na wnewch ddim caethwaith.

9 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd, Llefara wrth feibion Israel, a dywed wrthynt,

10 [c] Pan ddeloch i'r tir a roddaf i chwi, a medi o honoch ei gynhauaf; yna dygwch † ysgub blaen-ffrwyth eich cynhauaf at yr offeiriad.

[c] Exod. 23. 16. a 34. 22. Num. 28. 26. Deut. 16. 9.

11 Cyhwfaned yntau yr ysgub ger bron yr ARGLWYDD, i'ch gwneuthur yn gymmeradwy: trannoeth wedi 'r Sabboth y cyhwfana 'r offeiriad hi.

† Neu, *ddyrnaid.* Heb. *omer.*

12 Ac offrymmwch ar y dydd y cyhwfaner yr ysgub, oen blwydd, perffeith-gwbl, yn boeth-offrwm i'r ARGLWYDD.

13 A'i fwyd-offrwm *o* ddwy ddegfed ran o beilliaid wedi ei gymmysgu ag olew, yn aberth tanllyd i'r ARGLWYDD, yn arogl peraidd: a'i ddïod-offrwm *fydd* o win, pedwaredd *ran* hin.

14 Bara hefyd, nac ŷd wedi ei grasu, na thywysenau îr, ni chewch eu bwytta hyd gorph y dydd hwnnw, nes dwyn o honoch offrwm eich DUW. Deddf dragywyddol trwy eich cenhedlaethau, yn eich holl drigfannau, *fydd hyn.*

15 ¶ A [d] chyfrifwch i chwi o drannoeth wedi 'r Sabboth, o'r dydd y dygoch ysgub y cyhwfan; saith Sabboth cyflawn fyddant:

[d] Deut. 16. 9.

16 Hyd drannoeth wedi 'r seithfed Sabboth, y cyfrifwch ddeng niwrnod a deugain; ac offrymmwch fwyd-offrwm newydd i'r ARGLWYDD.

17 A dygwch o'ch trigfannau ddwy dorth gyhwfan, dwy ddegfed ran o beilliaid fyddant: yn lefeinllyd y pobir hwynt, [e] yn flaen-ffrwyth i'r ARGLWYDD.

[e] Exod. 23. 16, 19. a 34. 26. Num. 15. 17. a 28. 26. Deut. 26. 1.

18 Ac offrymmwch gyd â'r bara saith oen blwyddiaid, perffeith-gwbl, ac un bustach ieuangc, a dau hwrdd: poeth-offrwm i'r ARGLWYDD fyddant hwy, ynghŷd â'u bwyd-offrwm a'u dïod-offrwm; *sef* aberth tanllyd, o arogl peraidd i'r ARGLWYDD.

19 Yna aberthwch [f] un bwch geifr yn bech-aberth, a dau oen blwyddiaid [g] yn aberth hedd.

[f] Pen. 4. 2. [g] Pen. 3. 1.

20 A chyhwfaned yr offeiriad hwynt, ynghŷd â bara y blaen-ffrwyth, yn offrwm cyhwfan ger bron yr ARGLWYDD, ynghŷd â'r ddau oen: [h] cyssegredig i'r ARGLWYDD ac eiddo 'r offeiriad fyddant.

[h] Num. 18. 12. Deut. 18. 4.

21 A chyhoeddwch, o fewn corph y dydd hwnnw, y bydd cymmanfa sanctaidd i chwi: dim caethwaith ni's gwnewch. Deddf dragywyddol, yn eich holl drigfannau, trwy eich cenhedlaethau, *fydd hyn.*

22 ¶ [i] A phan fedoch gynhauaf eich tir, na lwyr-feda gyrrau dy faes, [k] ac na loffa loffion dy gynhauaf; gad hwynt i'r tlawd a'r dïeithr: myfi *yw* yr ARGLWYDD eich DUW chwi.

[i] Pen. 19. 9. [k] Deut. 24. 19.

23 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

24 Llefara wrth feibion Israel, gan ddywedyd, Ar y [l] seithfed mis, ar *y dydd* cyntaf o'r mis, y bydd i chwi Sabboth, yn goffadwriaeth caniad udgyrn, *a* chymmanfa sanctaidd.

[l] Num. 29. 1.

25 Dim caethwaith ni's gwnewch; ond offrymmwch ebyrth tanllyd i'r ARGLWYDD.

26 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

27 [m] Y degfed *dydd* o'r seithfed mis hwn, *y bydd* dydd cymmod; cymmanfa sanctaidd fydd i chwi: yna cystuddiwch eich eneidiau, ac offrymmwch ebyrth tanllyd i'r ARGLWYDD.

[m] Pen. 16. 29. Num. 29. 7.

28 Ac na wnewch ddim gwaith o fewn corph y dydd hwnnw: o herwydd dydd cymmod *yw,* i wneuthur cymmod drosoch ger bron yr ARGLWYDD eich DUW.

29 Canys pob enaid a'r ni chystuddier o fewn corph y dydd hwn, [n] a dorrir ymaith oddi wrth ei bobl.

[n] Gen. 17. 14.

30 A phob enaid a wnelo ddim gwaith o fewn corph y dydd hwnnw, difethaf yr enaid hwnnw hefyd o fysg ei bobl.

31 Na wnewch ddim gwaith. Deddf dragywyddol, trwy eich cenhedlaethau, yn eich holl drigfannau, *yw hyn.*

32 Sabboth gorphwysdra *yw* efe i chwi; cystuddiwch chwithau eich eneidiau ar y nawfed *dydd* o'r mis, yn yr hwyr: o hwyr i hwyr y ‡ cedwch eich Sabboth.

‡ Heb. *gorphwyswch.*

33 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

34 Llefara wrth feibion Israel, gan ddywedyd, [o] Ar y pymthegfed dydd o'r seithfed mis hwn *y bydd* gwyl y pebyll saith niwrnod i'r ARGLWYDD.

[o] Exod. 23. 16. Num. 29. 12. Deut. 16. 13.

35 Ar y dydd cyntaf *y bydd* cymmanfa sanctaidd: dim caethwaith ni's gwnewch.

36 Saith niwrnod yr offrymmwch aberth tanllyd i'r ARGLWYDD: [p] ar yr wythfed dydd [q] y bydd cymmanfa sanctaidd i chwi; a chwi a offrymmwch aberth tanllyd i'r ARGLWYDD: § uchel wyl *yw* hi; na wnewch ddim caethwaith.

[p] Ioan 7. 37. [q] 2 Chron. 7. 9. § Heb. *dydd gwaharddedig.*

37 Dyma wyliau 'r ARGLWYDD, y rhai a gyhoeddwch yn gymmanfeydd sanctaidd, i offrymmu i'r ARGLWYDD aberth tanllyd, offrwm poeth, bwyd-offrwm, aberth, a dïod-offrwm; pob peth yn ei ddydd:

38 Heb law Sabbothau 'r ARGLWYDD, a heb law eich rhoddion chwi, a heb law eich holl addunedau, a heb law eich holl offrymmau gwirfodd, a roddoch i'r ARGLWYDD.

39 Ac ar y pymthegfed dydd o'r seithfed

mis, pan gynhalloch ffrwyth eich tir, ced-
wch wyl i'r ARGLWYDD saith niwrnod:
*bydded* gorphwysdra ar y dydd cyntaf, a
gorphwysdra ar yr wythfed dydd.
r Neh. 8. 40 [r] A'r dydd cyntaf cymmerwch i chwi
15. † ffrwyth pren prydferth, canghenau palm-
† Neu. wŷdd, a brig pren caeadfrig, a helyg afon;
*geingciau.* ac ymlawenhêwch ger bron yr ARGLWYDD
eich DUW saith niwrnod.
41 A chedwch hon yn wyl i'r ARGLWYDD
saith niwrnod yn y flwyddyn: deddf dra-
gywyddol yn eich cenhedlaethau *yw;* ar
y seithfed mis y cedwch hi *yn wyl.*
42 Mewn bythod yr arhoswch saith niwr-
nod; pob priodor yn Israel a drigant mewn
bythod:
43 Fel y gwypo eich cenhedlaethau chwi
mai mewn bythod y perais i feibion Israel
drigo, pan ddygais hwynt allan o dir yr
Aipht: myfi *yw* yr ARGLWYDD eich DUW.
44 A thraethodd Moses wyliau 'r AR-
GLWYDD wrth feibion Israel.

## PEN. XXIV.

1 *Olew 'r llusernau.* 5 *Y bara gosod.* 10 *Mab Selomith yn cablu.* 13 *Cyfraith cabledd,* 17 *a llofruddiaeth.* 18 *Am golled.* 23 *Llabyddio 'r cablwr.*

1490. A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses,
gan ddywedyd,
a Exod. 27. 2 [a] Gorchymyn i feibion Israel ddwyn
20. attat olew olewŷdden pur, coethedig, i'r
† Heb. goleuni, i beri i'r lampau † gynneu bob
*ddyrchafu.* amser.
3 O'r tu allan i wahanlen y dystiolaeth,
ym mhabell y cyfarfod, y trefna Aaron ef o
hwyr hyd fore, ger bron yr ARGLWYDD,
bob amser. Deddf dragywyddol trwy eich
cenhedlaethau *fydd hyn.*
b Exod. 31. 4 Ar y canhwyllbren [b] pur y trefna efe y
8. lampau ger bron yr ARGLWYDD bob amser.
5 ¶ A chymmer beilliaid, a phoba ef yn
c Exod. 25. ddeuddeg [c] teisen: dwy ddegfed ran fydd
30. pob teisen.
6 A gosod hwynt yn ddwy res, chwech
*yn* y rhes, ar y bwrdd pur, ger bron yr
ARGLWYDD.
7 A dod thus pur ar bob rhes, fel y byddo
ar y bara, yn goffadwriaeth, *ac* yn aberth
tanllyd i'r ARGLWYDD.
8 Ar bob dydd Sabboth y trefna efe hyn
ger bron yr ARGLWYDD bob amser, yn
gyfammod tragywyddol oddi wrth feibion
Israel.
d Exod. 29. 33. 9 A [d] bydd eiddo Aaron a'i feibion; a
Pen. 8. 31. hwy a'i bwyttânt yn y lle sanctaidd: canys
1 Sam. 21. sancteiddiolaf *yw* iddo ef o ebyrth tan-
6. Mat. 12. 4. llyd yr ARGLWYDD, *trwy* ddeddf dragy-
wyddol.
10 ¶ A mab gwraig o Israel, a hwn yn
fab gwr o'r Aipht, a aeth allan ym mysg
meibion Israel; a mab yr Israelees a gwr
o Israel a ymgynhenasant yn y gwersyll.
11 A mab y wraig o Israel a gablodd
enw 'r *ARGLWYDD,* ac a felldigodd: yna
y dygasant ef at Moses: ac enw ei fam oedd
Selomith, merch Dibri, o lwyth Dan.
e Num. 15. 12 [e] A gosodasant ef yngharchar, fel yr
34. hyspysid iddynt o enau 'r ARGLWYDD *beth
a wnaent.*
13 A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Mo-
ses, gan ddywedyd,
14 Dwg y cablydd i'r tu allan i'r gwer-
f Deut. 13. syll; a [f] rhodded pawb a'i clywsant ef eu
9. a 17. 7. dwylaw ar ei ben ef, a llabyddied yr holl
gynnulleidfa ef.

15 A llefara wrth feibion Israel, gan ddy-
wedyd, Pwy bynnag a gablo ei DDUW, a
ddwg ei bechod.
16 A [g] lladder yn farw yr hwn a felldithio g 1 Bren.
enw 'r ARGLWYDD; yr holl gynnulleidfa 21. 10, 13.
gan labyddio a'i llabyddiant ef: lladder yn
gystal y dieithr, a'r priodor, pan gablo efe
enw 'r ARGLWYDD.
17 ¶ [h] A'r neb a ‡ laddo ddyn, lladder h Exod. 21.
yntau yn farw. 12. Num. 35.
18 A'r hwn a laddo anifail, taled am 31.
dano; § anifail am anifail. Deut. 19.
19 A phan wnelo un anaf ar ei gymmy- 21.
dog; fel y gwnaeth, gwneler iddo: ‡ Heb. *a darawo*
20 Torriad am dorriad, llygad am lygad, *einioes*
dant am ddant: megis y gwnaeth anaf ar *dyn.*
ddyn, felly gwneler iddo yntau. § Heb.
21 [k] A'r hwn a laddo anifail, a dâl am *einioes am einioes.*
dano: a laddo ddyn, a leddir. i Exod. 21.
22 Bydded [l] un farn i chwi; bydded i'r 24.
dieithr, fel i'r priodor: myfi *ydwyf* yr AR- Deut. 19. 21.
GLWYDD eich DUW. Mat. 5. 38.
23 ¶ A mynegodd Moses *hyn* i feibion Is- k Exod. 21
rael: a hwynt a ddygasant y cablydd i'r tu 33.
allan i'r gwersyll, ac a'i llabyddiasant ef â l Exod. 12.
cherrig. Felly meibion Israel a wnaethant 49.
megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD
wrth Moses.

## PEN. XXV.

1 *Sabboth y seithfed flwyddyn.* 8 *Y jubili yn y ddegfed flwyddyn a deugain.* 14 *Am orthrymmu.* 18 *Bendith am ufudd-dod.* 23 *Gollyngiad tiroedd,* 29 *a thai.* 35 *Tosturio wrth y tlawd.* 39 *Esmwyth drin caethion.* 47 *Adbrynu gweision.*

LLEFARODD yr ARGLWYDD hefyd 1491.
wrth Moses ym mynydd Sinai, gan
ddywedyd,
2 Llefara wrth feibion Israel, a dywed
wrthynt, Pan ddeloch i'r tir yr hwn a rodd-
af i chwi; yna gorphwysed y tir [a] Sabboth a Exod. 23.
i'r ARGLWYDD. 10.
3 Chwe blynedd yr heui dy faes, a chwe Edrych Pen. 26. 34.
blynedd y torri dy winllan, ac y cesgli ei
chnwd.
4 Ac ar y seithfed flwyddyn y bydd Sab-
both gorphwysdra i'r tir, *sef* Sabboth i'r
ARGLWYDD: na haua dy faes, ac na thorr
dy winllan.
5 [b] Na chynhauafa 'r hyn a dyfo o hono b 2 Bren.
ei hun, ac na chasgl † rawnwin dy winwŷd- 19. 29.
den ni theclaist: bydd yn flwyddyn orph- † Heb.
wysdra i'r tir. *rawnwin dy neill-*
6 Ond bydded *ffrwyth* Sabboth y tir yn *duaeth.*
ymborth i chwi; *sef* i ti, ac i'th wasanaeth-
wr, ac i'th wasanaethferch, ac i'th weinidog
cyflog, ac i'th alldud yr hwn a ymdeithio
gyd â thi,
7 I'th anifail hefyd, ac i'r bwystfil *fydd*
yn dy dir, y bydd ei holl gnwd yn ymborth.
8 ¶ Cyfrif hefyd it' saith Sabboth o fly-
nyddoedd, *sef* saith mlynedd seithwaith;
dyddiau 'r saith Sabboth o flynyddoedd fyd-
dant i ti yn naw mlynedd a deugain.
9 Yna par ganu it' udgorn ‡ y jubili ar y ‡ Heb.
seithfed mis, ar y degfed *dydd* o'r mis; [c] ar *uchelsain.*
ddydd y cymmod cenwch yr udgorn trwy c Pen. 23.
eich holl wlad. 27.
10 A sancteiddiwch y ddegfed flwyddyn
a deugain, a chyhoeddwch ryddid yn y
wlad i'w holl drigolion: jubili fydd hi i
chwi; a dychwelwch bob un i'w etifeddi-
aeth, ie dychwelwch bob un at ei deulu.
11 Y ddegfed flwyddyn a deugain honno
fydd jubili i chwi: na heuwch, ac na fed-
wch ei chnwd a dyfo o hono ei hun; ac

na chynhullwch ei gwinwýdden ni thacl-
wyd.
12 Am ei *bod* yn jubili, bydded sanct-
aidd i chwi: o'r maes y bwyttêwch ei
ffrwyth hi.
13 O fewn y flwyddyn jubili hon y dych-
welwch bob un i'w etifeddiaeth.
14 Pan werthoch ddim i'th gymmydog,
neu brynu ar law dy gymmydog, na or-
thrymmwch bawb eich gilydd.
15 Pryn gan dy gymmydog yn ol rhifedi 'r
blynyddoedd ar ol y jubili; a gwerthed
efe i tithau yn ol rhifedi blynyddoedd y
cnydau.
16 Yn ol amldra'r blynyddoedd y 'chwa-
negi ei bris, ac yn ol anamldra 'r blynydd-
oedd y lleihâi di ei bris: o herwydd rhifedi 'r
cnydau y mae efe yn ei werthu it.
17 Ac na orthrymmwch bob un ei gym-
mydog; ond ofna dy Dduw: canys myfi
*ydwyf* yr Arglwydd eich Duw chwi.
18 ¶ Gwnewch chwithau fy neddfau, a
chedwch fy marnedigaethau, a gwnewch
hwynt; a chewch drigo yn y tir yn ddï-
ogel.
19 Y tir hefyd a rydd ei ffrwyth; a
d Pen. 26. 5. [d] chewch fwytta digon, a thrigo ynddo
yn ddïogel.
20 A hefyd os dywedwch, Beth a fwyt-
tâwn y seithfed flwyddyn? wele, ni chawn
hau, ac ni chawn gynnull ein cnwd:
21 Yna mi a archaf fy mendith arnoch y
chweched flwyddyn; a hi a ddwg ei ffrwyth
i *wasanaethu* dros dair blynedd.
22 A'r wythfed flwyddyn yr heuwch; ond
bwyttêwch o'r hen gnwd hyd y nawfed
flwyddyn: nes dyfod ei chnwd hi, y bwyt-
têwch o'r hen.
† Heb. *i'w dorri ymaith.* 23 ¶ A'r tir ni chair ei werthu † yn
llwyr: canys eiddof fi *yw* 'r tir; o herwydd
e Psalm 119. 19. 1 Petr 2. 11. [e] dïeithriaid ac alldudion *ydych* gyd â mi.
24 Ac yn holl dir eich etifeddiaeth rhodd-
wch ollyngdod i'r tir.
25 ¶ Os tloda dy frawd, a gwerthu *dim*
f Edrych Ruth 3. 2, 9, 12. Jer. 32. 7. o'i etifeddiaeth, a [f] dyfod ei gyfnesaf i'w
ollwng; *yna* efe a gaiff ollwng yr hyn a
werthodd ei frawd.
26 Ond os y gwr ni bydd gantho neb a'i
gollyngo, a chyrhaeddyd o'i law ef ei hun
gael digon i'w ollwng:
27 Yna cyfrifed flynyddoedd ei werthiad,
a rhodded drachefn yr hyn fyddo dros ben
i'r gwr yr hwn y gwerthodd ef iddo; felly
aed eilwaith i'w etifeddiaeth.
28 Ac os ei law ni chaiff ddigon i dalu
iddo; yna bydded yr hyn a werthodd efe
yn llaw yr hwn a'i prynodd hyd flwyddyn y
jubili; ac yn y jubili yr â yn rhŷdd, ac efe
a ddychwel i'w etifeddiaeth.
29 A phan wertho gwr dŷ annedd *o fewn*
dinas gaerog; yna bydded ei ollyngdod hyd
*ben* blwyddyn gyflawn wedi ei werthu:
*dros* flwyddyn y bydd rhŷdd ei ollwng
ef.
30 Ac onì ollyngir cyn cyflawni iddo
flwyddyn gyfan; yna sicrhaer y tŷ, yr hwn
*fydd* yn y ddinas gaerog, yn llwyr i'r neb a'i
prynodd, *ac* i'w hiliogaeth: nid â yn rhŷdd
yn y jubili.
31 Ond tai'r trefi nid oes caerau o am-
gylch iddynt, a gyfrifir fel meusydd: bid
gollyngdod iddynt, ac yn y jubili yr ant yn
rhŷdd.
g Edrych Num. 35. 2. Jos. 21. 2, &c. 32 Ond [g] dinasoedd y Lefiaid, a thai di-
nasoedd eu hetifeddiaeth hwynt, bid i'r
Lefiaid eu gollwng bob amser.
33 Ac os ‡ pryn un gan y Lefiaid; yna ‡ *gollwng.*
aed y tŷ a werthwyd, a dinas ei etifeddiaeth
ef, allan yn y jubili: canys tai dinasoedd y
Lefiaid *ydyw* eu hetifeddiaeth hwynt ym
mysg meibion Israel.
34 Ac ni cheir gwerthu maes pentrefol
eu dinasoedd hwynt: canys etifeddiaeth
dragywyddol *yw* efe iddynt.
35 ¶ A phan dlodo dy frawd gyd â thi, a
llesgâu o'i law; § cynnorthwya ef, fel y § Heb. *cryfhâ.*
byddo byw gyd â thi; *er ei fod* yn ddïeithr-
ddyn, neu yn alldud.
36 [h] Na chymmer gantho occraeth, na h Exod. 22. 25. Deut. 23. 19. Diar. 28. 8. Ezec. 18. 8. a 22. 12.
llôg: ond [i] ofna dy Dduw; a gad i'th i Neh. 5. 9.
frawd fyw gyd â thi.
37 Na ddod dy arian iddo ar usuriaeth,
ac na ddod dy fwyd iddo ar lôg.
38 Myfi *yw* yr Arglwydd eich Duw
chwi, yr hwn a'ch dygais allan o dir yr
Aipht, i roddi iwch' dir Canaan, *ac* i fod yn
Dduw i chwi.
39 ¶ A [k] phan dlodo dy frawd gyd â k Exod. 21. 2. Deut. 15. 12. Jer. 34. 14.
thi, a'i werthu ef it'; na ‖ wna iddo wasa-
naethu yn gaethwas.
40 Bydded gyd â thi fel gweinidog cyf-
log, fel ymdeithydd; hyd flwyddyn y jubili ‖ Heb. *na wasanaetha mo honot dy hun ag ef a'i wasanaeth.*
y caiff wasanaethu gyd â thi.
41 Yna aed oddi wrthyt ti, efe a'i blant
gyd ag ef, a dychweled at ei dylwyth, ac
aed drachefn i etifeddiaeth ei dadau.
42 Canys fy ngweision i ydynt, y rhai a
ddygais allan o dir yr Aipht: na werther
hwynt † fel caeth-weision. † Heb. *â gwerth caethwas.*
43 [l] Na feistrola arno ef yn galed; ond l Eph. 6. 9. Col. 4. 1.
ofna dy Dduw.
44 A *chymmer* dy wasanaethwr, a'th wa-
sanaethferch, y rhai fyddant i ti, o fysg y
cenhedloedd y rhai *ydynt* o'ch amgylch: o
honynt y prynwch wasanaethwr a gwasa-
naethferch.
45 A hefyd o blant yr alldudion y rhai a
ymdeithiant gyd â chwi, prynwch o'r rhai
hyn, ac o'u tylwyth y rhai *ynt* gyd â chwi, y
rhai a genhedlasant hwy yn eich tir chwi:
byddant hwy i chwi yn feddiant.
46 Ac etifeddwch hwynt i'ch plant ar
eich ol, i'w meddiannu *hwynt* yn etifeddi-
aeth; gwnewch iddynt eich gwasanaethu
byth: ond eich brodyr, meibion Israel, na
feistrolwch yn galed y naill ar y llall.
47 ¶ A phan gyrhaeddo llaw dyn dïeithr
neu ymdeithydd *gyfoeth* gyd â thi, ac i'th
frawd dlodi yn ei ymyl ef, a'i werthu ei
hun i'r dïeithr yr hwn *fydd* yn trigo gyd â
thi, neu i un o hiliogaeth tylwyth y dïeithr-
ddyn:
48 Wedi ei werthu, ceir ei ollwng yn
rhŷdd; un o'i frodyr a gaiff ei ollwng yn
rhŷdd;
49 Naill ai ei ewythr, ai mab ei ewythr,
a'i gollwng ef yn rhŷdd; neu *un* o'i gyfnesaf
ef, o'i dylwyth ei hun, a'i gollwng yn rhŷdd;
neu, os ei law a gyrraedd, gollynged efe ef
ei hun.
50 A chyfrifed â'i brynwr, o'r flwyddyn y
gwerthwyd ef, hyd flwyddyn y jubili: a
bydded arian ei werthiad ef fel rhifedi 'r
blynyddoedd; megis dyddiau gweinidog cy-
flog y bydd gyd ag ef.
51 Os llawer *fydd* o flynyddoedd yn ol;
taled ei ollyngdod o arian ei brynedigaeth
yn ol hynny.
52 Ac os ychydig flynyddoedd fydd yn
ol hyd flwyddyn y jubili, pan gyfrifo ag ef;
taled ei ollyngdod yn ol ei flynyddoedd.
53 Megis gwas cyflog o flwyddyn i

flwyddyn y bydd efe gyd ag ef: ac na feistroled arno yn galed yn dy olwg di.

[† Neu, *yn y modd hyn.*] 54 Ac os efe ni ollyngir † o fewn *y blynyddoedd* hyn; yna aed allan flwyddyn y jubili, efe a'i blant gyd ag ef.

55 Canys gweision i mi *yw* meibion Israel; fy ngweision ydynt, y rhai a ddygais o dir yr Aipht: myfi *ydwyf* yr ARGLWYDD eich DUW chwi.

## PEN. XXVI.

[Chwefr. 13. P.] 1 *Am ddelw-addoliaeth.* 2 *Am grefydd.* 3 *Bendith i'r rhai a gadwant y gorchymynion;* 14 *a melldith i'r rhai a'u torrant.* 40 *Duw yn addaw cofio 'r rhai a edifarhânt.*

1491 [a Exod. 20. 4. Deut. 5. 8. a 16. 12. a 27. 15. Psalm 97. 7.] NA wnewch [a] eilunod iwch', ac na chodwch i chwi ddelw gerfiedig, na cholofn, ac na roddwch † ddelw faen yn eich tir i ymgrymmu iddi: canys myfi *yw* yr ARGLWYDD eich DUW chwi.

[† Heb *faen llun.* b Pen. 19. 30.] 2 [b] Fy Sabbothau i a gedwch, a'm cyssegr i a berchwch: myfi *ydwyf* yr ARGLWYDD.

[c Deut. 28. 1.] 3 ¶ [c] Os yn fy neddfau i y rhodiwch, a'm gorchymynion a gedwch, a'u gwneuthur hwynt;

4 Yna mi a roddaf eich gwlaw yn ei amser, a rhydd y ddaear ei chynnyrch, a choed y maes a rydd eu ffrwyth.

[d Amos 9. 13. e Pen. 25. 19. f Job. 11. 18. Esay 35. 9. Ezec. 34. 25.] 5 [d] A'ch dyrnu a gyrraedd hyd gynhauaf y grawnwin, a chynhauaf y grawnwin a gyrraedd hyd amser hau; [e] a'ch bara a fwyttêwch yn ddigonol, [f] ac yn eich tir y trigwch yn ddïogel.

[g Job 11. 19. Esay 35. 9. Ezec. 34. 25. ‡ beidio.] 6 Rhoddaf heddwch hefyd yn y tir, a [g] gorweddwch hefyd heb ddychrynydd: a gwnaf i'r bwystfil niweidiol ‡ ddarfod o'r tir; ac nid â chleddyf trwy eich tir.

7 Eich gelynion hefyd a erlidiwch, a syrthiant o'ch blaen ar y cleddyf.

[h Deut. 32. 30. Jos. 23. 10.] 8 A [h] phump o honoch a erlidia gant, a chant o honoch a erlidia ddeng-mil; a'ch gelynion a syrth o'ch blaen ar y cleddyf.

9 A mi a edrychaf am danoch, ac a'ch gwnaf yn ffrwythlawn, ac a'ch amlhâf, ac a gadarnhâf fy nghyfammod â chwi.

10 A'r hen ystôr a fwyttêwch, ïe yr hen a fwriwch chwi allan o achos y newydd.

[i Ezec. 37. 26.] 11 [i] Rhoddaf hefyd fy nhabernacl yn eich mysg; ac ni ffieiddia fy enaid chwi.

[k 2 Chron. 6. 10.] 12 [k] A mi a rodiaf yn eich plith; a byddaf yn DDUW i chwi, a chwithau a fyddwch yn bobl i mi.

13 Myfi *yw* 'r ARGLWYDD eich DUW, yr hwn a'ch dygais chwi allan o dir yr Aipht, rhag eich bod yn gaethweision iddynt; a thorrais rwymau eich iau, a gwneuthum iwch' rodio yn sythion.

[l Deut. 28. 15. Gal. 2. 17. Mal. 2. 2.] 14 ¶ [l] Ond os chwi ni wrandêwch arnaf, ac ni wnewch yr holl orchymynion hyn;

15 Os fy neddfau hefyd a ddirmygwch, ac os eich enaid a ffieiddia fy marnedigaethau, heb wneuthur fy holl orchymynion, ond torri fy nghyfammod;

[m Job 31. 8. Jer. 5. 17. a 12. 13.] 16 Minnau hefyd a wnaf hyn i chwi: gosodaf yn oruchaf arnoch ddychryn, darfodedigaeth, a'r cryd poeth, y rhai a wna i'r llygaid ballu, ac a ofidiant eich eneidiau: a [m] heuwch eich had yn ofer: canys eich gelynion a'i bwytty:

[n Pen. 17. 10. o Psalm 53. 5. Diar. 28. 1.] 17 Ac [n] a osodaf fy wyneb i'ch erbyn, a chwi a syrthiwch o flaen eich gelynion; a'ch caseion a feistrola arnoch; [o] ffowch hefyd pan na byddo neb yn eich erlid.

18 Ac os er hyn ni wrandêwch arnaf, yna y chwanegaf eich cospi chwi saith mwy am eich pechodau.

19 A mi a dorraf falchder eich nerth chwi; a gwnaf eich nefoedd chwi fel haiarn, a'ch tir chwi fel pres:

20 A'ch cryfdwr a dreulir yn ofer: canys eich tir ni rydd ei gynnyrch, a choed y tir ni roddant eu ffrwyth.

21 ¶ Ac os rhodiwch yngwrthwyneb i mi, ac ni fynnwch wrando arnaf fi; mi a 'chwanegaf bla saith mwy arnoch yn ol eich pechodau.

22 [p] Ac anfonaf fwystfil y maes yn eich erbyn, ac efe a'ch gwna chwi yn ddiblant, ac a ddifetha eich anifeiliaid, ac a'ch lleihâ chwi; [q] a'ch ffyrdd a wnair yn anialwch. [p Deut. 32. 24. Ezec. 5. 17. q Barn. 5. 6.]

23 Ac os wrth hyn ni chymmerwch ddysg gennyf, ond rhodio yn y gwrthwyneb i mi; [2 Chron. 15. 5. Esay 33. 8. Galar. 1. 4.]

24 [r] Yna y rhodiaf finnau yn y gwrthwyneb i chwithau, a mi a'ch cospaf chwi hefyd etto 'n saith mwy am eich pechodau. [r 2 Sam. 22. 27. Psalm 18. 26.]

25 A dygaf arnoch gleddyf, yr hwn a ddïal fy nghyfammod: a phan ymgasgloch i'ch dinasoedd, yna yr anfonaf haint i'ch mysg; a chwi a roddir yn llaw y gelyn.

26 [s] A phan dorrwyf ffon eich bara, yna deg o wragedd a bobant eich bara mewn un ffwrn, ac a ddygant eich bara adref dan bwys: a [t] chwi a fwyttêwch, ac ni 's digonir chwi. [s Esay 3. 1. Ezec. 4. 16. a 5. 16. a 14. 13. t Mic. 6. 14. Hag. 1. 6.]

27 Ac os er hyn ni wrandêwch arnaf, ond rhodio yngwrthwyneb i mi;

28 Minnau a rodiaf yngwrthwyneb i chwithau mewn llid; a myfi, ïe myfi, a'ch cospaf chwi etto saith mwy am eich pechodau.

29 [u] A chwi a fwyttêwch gnawd eich meibion, a chnawd eich merched a fwyttêwch. [u Deut. 28. 53. Ezec. 5. 10. Barn. 2. 3.]

30 Eich uchelfeydd hefyd a ddinystriaf, ac [x] a dorraf eich delwau, ac a roddaf eich celaneddau chwi ar gelaneddau eich eilunod, a'm henaid a'ch ffieiddia chwi. [x 2 Chron. 34. 7. Ezec. 6. 4, 5, 13.]

31 A gwnaf eich dinasoedd yn anghyfannedd, ac [y] a ddinystriaf eich cyssegroedd, ac ni aroglaf eich aroglau peraidd. [y Psalm 74. 7. Galar. 1. 10.]

32 A mi a ddinystriaf y tir; fel y byddo aruthr gan eich gelynion, y rhai a drigant ynddo, o'i herwydd. [Ezec. 9. 6. a 21. 7.]

33 [z] Chwithau a wasgaraf ym mysg y cenhedloedd, a gwnaf dynnu cleddyf ar eich ol; a'ch tir fydd ddiffaethwch, a'ch dinasoedd yn anghyfannedd. [z Deut. 4. 27. a 28. 62, 64.]

34 [a] Yna y mwynhâ 'r tir ei Sabbothau yr holl ddyddiau y byddo yn ddiffaethwch, a chwithau *a fyddwch* yn nhir eich gelynion; yna y gorphwys y tir, ac y mwynhâ ei Sabbothau. [a 2 Chron. 36. 21.]

35 Yr holl ddyddiau y byddo yn ddiffaethwch y gorphwys; o herwydd na orphwysodd ar eich [b] Sabbothau chwi, pan oeddych yn trigo ynddo. [b Pen. 25. 2.]

36 A'r hyn a weddillir o honoch, dygaf lesgedd ar eu calonnau yn nhir eu gelynion; a [c] thrwst deilen yn ysgwyd a'u herlid hwynt; a ffoant fel ffo rhag cleddyf; a syrthiant hefyd heb neb yn eu herlid. [c Diar. 28. 1.]

37 A [d] syrthiant bawb ar eu gilydd, megis o flaen cleddyf, heb neb yn eu herlid: ac ni ellwch sefyll o flaen eich gelynion. [d Esay 10. 4.]

38 Difethir chwi hefyd ym mysg y cenhedloedd, a thir eich gelynion a'ch bwytty.

39 A'r rhai a weddillir o honoch, [e] a doddant yn eu hanwireddau yn nhir eich gelynion; ac yn anwireddau eu tadau gyd â hwynt y toddant. [e Deut. 4. 29. a 30. 1. Neh. 1. 9. Jer. 3. 25. a 29. 12, 13. Ezec. 4. 17. a 6. 9. a 20. 44. a 24. 23. a 33. 10. a 36. 31. Hos. 5. 15. Zec. 10. 9.]

40 Os cyffesant eu hanwiredd, ac anwiredd eu tadau, ynghyd â'u camwedd yr hwn a wnaethant i'm herbyn, a hefyd rhodio o honynt yn y gwrthwyneb i mi;

41 A rhodio o honof innau yn eu gwrth-

wyneb hwythau, a'u dwyn hwynt i dir eu gelynion; os yno 'r ymostwng eu calon f ddienwaededig, a'u bod yn foddlon am eu cospedigaeth:

f Edrych Jer. 6. 10. a 9. 25. 26. Rhuf. 2. 29. Col. 2. 11.

42 Minnau a gofiaf fy nghyfammod â Jacob, a'm cyfammod hefyd ag Isaac, a'm cyfammod hefyd ag Abraham a gofiaf; ac a gofiaf y tir hefyd.

43 A'r tir a adewir ganddynt, ac a fwynhâ ei Sabbothau, tra fyddo yn ddiffaethwch hebddynt: a hwythau a foddlonir am eu cospedigaeth; o achos ac o herwydd dirmygu o honynt fy marnedigaethau, a ffieiddio o'u henaid fy neddfau.

44 Ac er hyn hefyd, pan fyddont yn nhir eu gelynion, g ni's gwrthodaf ac ni ffieiddiaf hwynt i'w difetha, gan dorri fy nghyfammod â hwynt: o herwydd myfi *ydyw* 'r ARGLWYDD eu Duw hwynt.

g Deut. 4. 31. Rhuf. 11. 26.

45 Ond cofiaf er eu mwyn gyfammod y rhai gynt, y rhai a ddygais allan o dir yr Aipht yngolwg y cenhedloedd, i fod iddynt yn DDUW: myfi *ydwyf* yr ARGLWYDD.

46 Dyma 'r deddfau, a'r barnedigaethau, a'r cyfreithiau, y rhai a roddodd yr ARGLWYDD rhyngddo ei hun a meibion Israel, ym mynydd Sinai, trwy law Moses.

PEN. XXVII.

1 *Yr hwn a wnelo adduned hyspysol, eiddo 'r Arglwydd fydd.* 3 *Pris y cyfryw adduned.* 9 *Am anifail a rodder trwy adduned.* 14 *Am dŷ.* 16 *Am faes, a'i ollyngiad.* 28 *Ni ryddheir un diofryd-beth.* 32 *Nid rhŷdd newid y degwm.*

1491. A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

2 Llefara wrth feibion Israel, a dywed wrthynt, Pan addunedo neb adduned neillduol, y dynion *fydd* eiddo 'r ARGLWYDD, yn dy bris di.

3 A bydd dy bris, am wrryw o fab ugain mlwydd hyd fab trugain mlwydd, ie bydd dy bris ddeg sicl a deugain o arian, yn ol sicl y cyssegr.

4 Ac os benyw *fydd*, bydded dy bris ddeg sicl ar hugain.

5 Ac o fab pum mlwydd hyd fab ugain mlwydd, bydded dy bris am wrryw ugain sicl, ac am fenyw ddeg sicl.

6 A bydded hefyd dy bris am wrryw o fab misyriad hyd fab pum mlwydd, bum sicl o arian; ac am fenyw dy bris *fydd* tri sicl o arian.

7 Ac o fab trugeinmlwydd ac uchod, os gwrryw *fydd*, bydded dy bris bymtheg sicl, ac am fenyw ddeg sicl.

8 Ond os tlottach fydd efe nâ'th bris di; yna safed ger bron yr offeiriad, a phrisied yr offeiriad ef: yn ol yr hyn a gyrhaeddo llaw'r addunedydd, *felly* y prisia 'r offeiriad ef.

9 ¶ Ond os anifail, yr hwn yr offrymmir o hono offrwm i'r ARGLWYDD, *fydd ei adduned*; yr hyn oll a roddir o'r cyfryw i'r ARGLWYDD, sanctaidd fydd.

10 Na rodded un arall am dano, ac na newidied ef, y da am y drwg, neu 'r drwg am y da: ac os gan newidio y newidia anifail am anifail; bydded hwnnw a bydded ei gyfnewid hefyd yn sanctaidd.

11 Ac os *adduneda efe* un anifail aflan, yr hwn ni ddylent offrymmu o hono offrwm i'r ARGLWYDD; yna rhodded yr anifail i sefyll ger bron yr offeiriad:

12 A phrisied yr offeiriad ef, os da os drwg *fydd*: † fel y prisiech di 'r offeiriad *ef*, felly y bydd.

† Heb. *yn ol dy bris di.*

13 Ac os efe gan brynu a'i pryn: yna rhodded at dy bris di ei bummed *ran* yn ychwaneg.

14 ¶ A phan sancteiddio gwr ei dŷ yn sanctaidd i'r ARGLWYDD; yna 'r offeiriad a'i prisia, os da os drwg fydd: megis y prisio 'r offeiriad ef, felly y saif.

15 Ac os yr hwn a'i sancteiddiodd a ollwng ei dŷ yn rhŷdd; yna rhodded bummed *ran* arian dy bris yn ychwaneg atto, a bydded eiddo ef.

16 ¶ Ac os o faes ei etifeddiaeth y sancteiddia gwr i'r ARGLWYDD; yna bydded dy bris yn ol ei hauad: hauad omer o haidd *fydd* er deg sicl a deugain o arian.

17 Os o flwyddyn y jubili y sancteiddia efe ei faes, yn ol dy bris di y saif.

18 Ond os wedi 'r jubili y sancteiddia efe ei faes; yna dogned yr offeiriad yr arian iddo, yn ol y blynyddoedd fyddant yn ol, hyd flwyddyn y jubili, a lleihaer ar dy bris di.

19 Ac os yr hwn a'i sancteiddiodd gan brynu a bryn y maes; yna rhodded bummed *ran* arian dy bris di yn ychwaneg atto, a bydded iddo ef.

20 Ac oni's gollwng y maes, neu os gwerthodd y maes i wr arall; ni cheir ei ollwng mwy.

21 A'r maes fydd, pan elo efe allan yn y jubili, yn gyssegredig i'r ARGLWYDD, fel maes diofryd: a bydded yn feddiant i'r offeiriad.

22 Ac os ei dir pryn, yr hwn ni *bydd* o dir ei etifeddiaeth, a sancteiddia efe i'r ARGLWYDD;

23 Yna cyfrifed yr offeiriad iddo ddogn dy bris di, hyd flwyddyn y jubili: a rhodded yntau dy bris di yn gyssegredig i'r ARGLWYDD, y dydd hwnnw.

24 Y maes a â yn ei ol, flwyddyn y jubili, i'r hwn y prynasid ef ganddo, *sef* yr hwn *oedd* eiddo etifeddiaeth y tir.

25 A phob pris it' fydd wrth sicl y cyssegr: a ugain gerah fydd y sicl. a Exod. 30. 13.

26 ¶ Ond b y cyntaf-anedig o anifail, yr hwn sydd flaen-ffrwyth i'r ARGLWYDD, na chyssegred neb ef, pa un bynnag ai eidion ai dafad *fyddo*: eiddo 'r ARGLWYDD *yw* efe. Num. 3. 47. Ezec. 45. 12. b Exod. 13. 2, 12.

27 Ond os *ei adduned ef fydd* o anifail aflan; yna rhyddhâed ef yn dy bris di, a rhodded ei bummed *ran* yn ychwaneg atto: ac oni's rhyddhâ, yna gwerther ef yn dy bris di.

28 ¶ c Ond pob diofryd-beth a ddiofrydo un i'r ARGLWYDD, o'r hyn oll *a fyddo* eiddo ef, o ddyn neu o anifail, neu o faes ei etifeddiaeth, ni werthir, ac ni ryddhâir: pob diofryd-beth *sydd* sancteiddiolaf i'r ARGLWYDD. c Jos. 6. 19.

29 Ni cheir gollwng yn rhŷdd un *anifail* diofrydog, yr hwn a ddiofryder gan ddyn: lladder yn farw.

30 ¶ A d holl ddegwm y tir, o had y tir, *ac* o ffrwyth y coed, yr ARGLWYDD a'u piau: cyssegredig i'r ARGLWYDD *yw*. d Gen. 28. 22. Num. 18. 21, 24. Mal. 3. 8, 10.

31 Ac os gwr gan brynu a bryn ddim o'i ddegwm, rhodded ei bummed *ran* yn ychwaneg atto.

32 A phob degwm eidion, neu ddafad, yr hyn oll e a elo dan y wialen; y degfed fydd cyssegredig i'r ARGLWYDD. e Edrych Jer. 33. 13. Ezec 20. 37.

33 Nac edryched pa un ai da ai drwg *fydd efe*, ac na newidied ef: ond os gan newidio y newidia efe hwnnw, bydded hwnnw a bydded ei gyfnewid ef hefyd yn gyssegredig; ni ellir ei ollwng yn rhŷdd.

34 Dyma 'r gorchymynion a orchymynodd yr ARGLWYDD wrth Moses, i feibion Israel, ym mynydd Sinai.

# ¶ Pedwerydd Llyfr MOSES, yr hwn a elwir NUMERI.

PEN. I.

1 *Duw'n peri rhifo'r bobl.* 5 *Capteniaid y llwythau.* 17 *Rhifedi pob llwyth.* 47 *Neillduo'r Lefiaid i wasanaeth yr Arglwydd.*

Cyn Crist 1490.

A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, yn anialwch Sinai, ym mhabell y cyfarfod, ar y *dydd* cyntaf o'r ail mis, yn yr ail flwyddyn wedi eu dyfod hwy allan o dir yr Aipht, gan ddywedyd,

2 [a] Cymmerwch nifer holl gynnulleidfa meibion Israel, yn ol eu teuluoedd, wrth dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, pob gwrryw wrth eu pennau;

3 O fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a allo fyned i ryfel yn Israel: ti ac Aaron a'u cyfrifwch hwynt yn ol eu lluoedd.

4 A bydded gyd â chwi wr o bob llwyth; sef y gwr pennaf o dŷ ei dadau.

5 ¶ A dyma enwau 'r gwŷr a safant gyd â chwi. O *lwyth* Reuben; Elisur mab Sedëur.

6 O *lwyth* Simeon; Selumiel mab Serusâdai.

7 O *lwyth* Judah; Nahson mab Aminadab.

8 O *lwyth* Issachar; Nethaneel mab Suar.

9 O *lwyth* Zabulon; Eliab mab Helon.

10 O feibion Joseph: dros Ephraim, Elisama mab Ammihud; dros Manasseh, Gamaliel mab Pedasur.

11 O *lwyth* Benjamin; Abidan mab Gideoni.

12 O *lwyth* Dan; Ahïezer mab Ammisâdai.

13 O *lwyth* Aser; Pagïel mab Ocran.

14 O *lwyth* Gad; Elïasaph mab [b] Deuel.

15 O *lwyth* Naphtali; Ahira mab Enan.

16 Dyma rai enwog y gynnulleidfa, tywysogion llwythau eu tadau, pennaethiaid miloedd Israel *oeddynt* hwy.

17 ¶ A chymmerodd Moses ac Aaron y gwŷr hyn a hyspysasid wrth *eu* henwau.

18 Ac a gasglasant yr holl gynnulleidfa ynghŷd ar y *dydd* cyntaf o'r ail mis; a rhoddasant eu hachau, trwy eu teuluoedd, yn ol tŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, o fab ugain mlwydd ac uchod, erbyn eu pennau.

19 Megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD i Moses, felly y rhifodd efe hwynt yn anialwch Sinai.

20 ¶ A meibion Reuben, cyntaf-anedig Israel, wrth eu cenedl eu hun, yn ol eu teuluoedd, o dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, erbyn eu pennau, pob gwrryw o fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a'r a allai fyned i ryfel;

21 Y rhai a rifwyd o honynt, *sef* o lwyth Reuben, *oedd* chwe mil a deugain a phum cant.

22 ¶ O feibion Simeon, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu teuluoedd, o dŷ eu tadau, eu rhifedigion *oedd*, dan rif *eu* henwau, erbyn eu pennau, pob gwrryw o fab ugain mlwydd ac uchod, *sef* pob un a'r a allai fyned i ryfel;

23 Eu rhifedigion hwynt, o lwyth Simeon, *oedd* onid un fil tri ugain mil a thri chant.

24 ¶ O feibion Gad, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu lluoedd, o dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, o fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a allai fyned i ryfel;

25 Eu rhifedigion hwynt, o lwyth Gad, *oeddynt* bùm mil a deugain a chwe chant a deg a deugain.

26 ¶ O feibion Judah, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu teuluoedd, o dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, o fab ugain mlwydd ac uchod, pawb a'r a oedd yn gallu myned i ryfel;

27 Eu rhifedigion hwynt, o lwyth Judah, *oedd* bedair mil ar ddeg a thri ugain a chwe chant.

28 ¶ O feibion Issachar, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu teuluoedd, o dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, o fab ugain mlwydd ac uchod, pob ùn a'r a oedd yn gallu myned i ryfel;

29 Eu rhifedigion hwynt, o lwyth Issachar, *oedd* bedair mil ar ddeg a deugain a phedwar cant.

30 ¶ O feibion Zabulon, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu teuluoedd, o dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, o fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a'r a ydoedd yn gallu myned i ryfel;

31 Eu rhifedigion hwynt, o lwyth Zabulon, *oedd* ddwy fil ar bymtheg a deugain a phedwar cant.

32 ¶ O feibion Joseph, *sef* o feibion Ephraim, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu teuluoedd, o dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, o fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a'r a ydoedd yn gallu myned i ryfel;

33 Eu rhifedigion hwynt, o lwyth Ephraim, *oedd* ddeugain mil a phum cant.

34 ¶ O feibion Manasseh, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu teuluoedd, o dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, o fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a'r a oedd yn gallu myned i ryfel;

35 Eu rhifedigion hwynt, o lwyth Manasseh, *oedd* ddeuddeng mil ar hugain a dau gant.

36 ¶ O feibion Benjamin, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu teuluoedd, o dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, o fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a'r a oedd yn gallu myned i ryfel;

37 Eu rhifedigion hwynt, o lwyth Benjamin, *oedd* bymtheg mil ar hugain a phedwar cant.

38 ¶ O feibion Dan, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu teuluoedd, o dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, o fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a'r a oedd yn gallu myned i ryfel;

39 Eu rhifedigion hwynt, o lwyth Dan, *oeddynt* ddwy fil a thrugain a saith gant.

40 ¶ O feibion Aser, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu teuluoedd, o dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, o fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a'r a oedd yn gallu myned i ryfel;

41 Eu rhifedigion hwynt, o lwyth Aser, *oeddynt* un fil a deugain a phum cant.

42 ¶ O feibion Naphtali, wrth eu cenhedlaethau, yn ol eu teuluoedd, o dŷ eu tadau, dan rif *eu* henwau, o fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a'r a ydoedd yn gallu myned i ryfel;

43 Eu rhifedigion hwynt, o lwyth Naphtali, *oedd* dair mil a deg a deugain a phedwar cant.

44 Dyma'r rhifedigion, y rhai a rifodd Moses, ac Aaron, a thywysogion Israel;

[a] Exod. 30. 12. a 38. 26.

[b] Pen. 2. 14, a elwir *Reuel.*

*sef* y deuddeng-wr, *y rhai oedd* bob un dros dŷ eu tadau.

45 Felly yr ydoedd holl rifedigion meibion Israel, wrth dŷ eu tadau, o fab ugain mlwydd ac uchod, pob un a'r a ydoedd yn gallu myned i ryfel yn Israel;

c Exod. 38. 26. Edrych Exod. 12. 37. Pen. 26. 51.
46 A'r holl rifedigion oedd [c] chwe chan mil a thair mil a phum cant a deg a deugain.

d Edrych Pen. 3. a 4. a 26. 57. 1 Chron. 6. a 21. 6.
47 ¶ Ond [d] y Lefiaid, trwy *holl* lwythau eu tadau, ni rifwyd yn eu mysg hwynt:

48 Canys llefarasai yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

49 Ond na chyfrif lwyth Lefi, ac na chymmer eu nifer hwynt, ym mysg meibion Israel.

50 Ond dod i'r Lefiaid awdurdod ar babell y dystiolaeth, ac ar ei holl ddodrefn, ac ar yr hyn oll *a berthyn* iddi: hwynt-hwy a ddygant y babell, a'i holl ddodrefn, ac a'i gwasanaethant, ac a wersyllant o amgylch i'r babell.

51 A phan symmudo'r babell, y Lefiaid a'i tynn hi i lawr; a phan arhoso'r babell, y Lefiaid a'i gosyd hi i fynu: lladder y dïeithr a ddelo yn agos.

52 A gwersylled meibion Israel bob un yn ei wersyll ei hun, a phob un wrth ei † lumman ei hun, trwy eu lluoedd.

† Neu, faner.

53 A'r Lefiaid a wersyllant o amgylch pabell y dystiolaeth, fel na byddo llid yn erbyn cynnulleidfa meibion Israel: a chadwed y Lefiaid wyliadwriaeth pabell y dystiolaeth.

54 A meibion Israel a wnaethant yn ol yr hyn oll a orchymynasai'r ARGLWYDD wrth Moses; felly y gwnaethant.

## PEN. II.

*Trefn y llwythau yn eu pebyll.*

1490. A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, ac wrth Aaron, gan ddywedyd,

2 Meibion Israel a wersyllant bob un wrth ei lumman ei hun, dan arwyddion tŷ eu tadau: o amgylch pabell y cyfarfod y gwersyllant † o hirbell.

† Heb. gyferbyn.

3 ¶ A'r rhai a wersyllant o du'r dwyrain tu a chodiad haul, *fydd gwŷr* lumman gwersyll Judah, yn ol eu lluoedd: a chapten meibion Judah *fydd* Nahson mab Aminadab.

4 A'i lu ef, a'u rhai rhifedig hwynt, *fyddant* bedair mil ar ddeg a thrugain a chwe chant.

5 A llwyth Issachar a wersyllant yn nesaf atto: a chapten meibion Issachar *fydd* Nethaneel mab Suar.

6 A'i lu ef, a'i rifedigion, *fyddant* bedair mil ar ddeg a deugain a phedwar cant.

7 *Yna* llwyth Zabulon: ac Eliab mab Helon *fydd* capten meibion Zabulon.

8 A'i lu ef, a'i rifedigion, *fyddant* ddwy fil ar bymtheg a deugain a phedwar cant.

9 Holl rifedigion gwersyll Judah *fyddant*, yn ol eu lluoedd, yn gan mil a phedwar ugain mil a chwe mil a phedwar cant. Yn flaenaf y cychwyn y rhai hyn.

10 ¶ Llumman gwersyll Reuben *fydd* tu a'r dehau, yn ol eu lluoedd: a chapten meibion Reuben *fydd* Elisur mab Sedëur.

11 A'i lu ef, a'i rifedigion, *fyddant* chwe mil a deugain a phum cant.

12 A'r rhai a wersyllant yn ei ymyl ef *fydd* llwyth Simeon: a chapten meibion Simeon *fydd* Selumiel mab Surisadai.

13 A'i lu ef, a'u rhifedigion, *fydd* onid un trugain mil a thrichant.

14 Yna llwyth Gad: a chapten meibion Gad *fydd* Eliasaph mab [a] Reuel.

a Edrych Pen. 1. 14.

15 A'i lu ef, a'u rhifedigion hwynt, *fyddant* bum mil a deugain a chwe chant a deg a deugain.

16 Holl rifedigion gwersyll Reuben *fyddant* gan mil ac un ar ddeg a deugain o filoedd, a phedwar cant a deg a deugain, yn ol eu lluoedd. Ac yn ail y cychwynant hwy.

17 ¶ A phabell y cyfarfod a gychwyn ynghanol y gwersylloedd, *gyd â* gwersyll y Lefiaid: fel y gwersyllant, felly y symmudant, pob un yn ei le, wrth eu llummanau.

18 ¶ Llumman gwersyll Ephraim *fydd* tu a'r gorllewin, yn ol eu lluoedd: a chapten meibion Ephraim *fydd* Elisama mab Ammihud.

19 A'i lu ef, a'u rhifedigion, *fyddant* ddeugain mil a phum cant.

20 Ac yn ei ymyl ef llwyth Manasseh: a chapten meibion Manasseh *fydd* Gamaliel mab Pedasur.

21 A'i lu ef, a'u rhifedigion, *fyddant* ddeuddeng mil ar hugain a dau gant.

22 Yna llwyth Benjamin: a chapten meibion Benjamin *fydd* Abidan mab Gideoni.

23 A'i lu ef, a'u rhifedigion, *fyddant* bymtheng mil ar hugain a phedwar cant.

24 Holl rifedigion gwersyll Ephraim *fyddant*, yn ol eu lluoedd, gan mil ac wyth mil a chant. Ac a gychwynant yn drydydd.

25 ¶ Llumman gwersyll Dan *fydd* tu a'r gogledd, yn ol eu lluoedd: a chapten meibion Dan *fydd* Ahïeser mab Ammisadai.

26 A'i lu ef, a'u rhifedigion, *fyddant* ddwy fil a thrugain a saith gant.

27 A'r rhai a wersyllant yn ei ymyl ef *fydd* llwyth Aser: a chapten meibion Aser *fydd* Pagiel mab Ocran.

28 A'i lu ef, a'u rhifedigion, *fyddant* un fil a deugain a phum cant.

29 Yna llwyth Naphtali: a chapten meibion Naphtali *fydd* Ahira mab Enan.

30 A'i lu ef, a'u rhifedigion, *fyddant* dair mil ar ddeg a deugain a phedwar cant.

31 Holl rifedigion gwersyll Dan *fyddant* gan mil ac onid tair mil tri ugain mil a chwe chant. Yn olaf y cychwynant â'u llummanau.

32 ¶ Dyma rifedigion meibion Israel, wrth dŷ eu tadau. [b] Holl rifedigion y gwersylloedd, yn ol eu lluoedd, *oedd* chwe chan mil a thair mil a phum cant a deg a deugain. b Exod. 38. 26. Pen. 1. 46.

33 Ond [c] y Lefiaid ni chyfrifwyd ym mysg meibion Israel; megis y gorchymynasai'r ARGLWYDD wrth Moses. c Pen. 1. 47.

34 A meibion Israel a wnaethant yn ol yr hyn oll a orchymynasai'r ARGLWYDD wrth Moses: felly y gwersyllasant wrth eu llummanau, ac felly y cychwynasant, bob un yn ei deuluoedd, yn ol tŷ eu tadau.

## PEN. III.

1 *Meibion Aaron.* 5 *Rhoddi'r Lefiaid i'r offeiriaid, er mwyn gwasanaeth y babell.* 11 *yn lle'r cyntaf-anedig.* 14 *Rhifo'r Lefiaid wrth eu teuluoedd.* 21 *Teuluoedd, rhifedi, a swydd y Gersoniaid,* 27 *y Cohathiaid,* 33 *y Merariaid.* 38 *Lle a swydd Moses ac Aaron.* 40 *Bod y cyntaf-anedig yn rhydd oddi wrth y Lefiaid.* 44 *Prynu'r rhai oedd dros ben.*

A Dyma genhedlaethau Aaron a Moses, ar y dydd y llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses ym mynydd Sinai. 1491.

2 Dyma enwau meibion Aaron: Nadab y [a] cyntaf-anedig, ac Abihu, Eleazar, ac Ithamar. a Exod. 6. 23.

3 Dymo enwau meibion Aaron, yr offeiriaid eneiniog, y rhai a † gyssegrodd efe i offeiriadu.

4 A [b] marw a wnaeth Nadab ac Abihu ger bron yr ARGLWYDD, pan offrymmasant dân dïeithr ger bron yr ARGLWYDD, yn anialwch Sinai; a meibion nid oedd iddynt: ac offeiriadodd Eleazar ac Ithamar yngŵydd Aaron eu tad.

5 ¶ A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, gan ddywedyd,

6 Nesâ lwyth Lefi, a gwna iddo sefyll ger bron Aaron yr offeiriad, fel y gwasanaethont ef.

7 A hwy a gadwant ei gadwraeth ef, a chadwraeth yr holl gynnulleidfa, o flaen pabell y cyfarfod, i wneuthur [c] gwasanaeth y tabernacl.

8 A chadwant holl ddodrefn pabell y cyfarfod, a chadwraeth meibion Israel, i wasanaethu gwasanaeth y tabernacl.

9 A [d] thi a roddi'r Lefiaid i Aaron, ac i'w feibion: y rhai hyn *sydd* wedi eu rhoddi yn rhodd iddo ef o feibion Israel.

10 Ac urdda di Aaron a'i feibion i gadw eu hoffeiriadaeth: [e] a'r dïeithrddyn a ddelo yn agos, a roddir i farw.

11 ¶ Llefarodd yr ARGLWYDD hefyd wrth Moses, gan ddywedyd,

12 Ac wele, [f] mi a gymmerais y Lefiaid o blith meibion Israel, yn lle pob cyntafanedig, *sef pob cyntaf* a agoro'r groth o feibion Israel; am hynny 'r Lefiaid a fyddant eiddof fi:

13 [g] Canys eiddof fi *yw* pob cyntafanedig. [h] Ar y dydd y tarewais y cyntafanedig yn nhir yr Aipht, cyssegrais i mi fy hun bob cyntaf-anedig yn Israel o ddyn ac anifail: eiddof fi ydynt: myfi *yw* yr ARGLWYDD.

14 ¶ Yr ARGLWYDD hefyd a lefarodd wrth Moses yn anialwch Sinai, gan ddywedyd,

15 Cyfrif feibion Lefi yn ol tŷ eu tadau, trwy eu teuluoedd: cyfrif hwynt, bob gwrryw, o fab ‡ misyriad ac uchod.

16 A Moses a'u cyfrifodd hwynt wrth § air yr ARGLWYDD, fel y gorchymynasid iddo.

17 [i] A'r rhai hyn oedd feibion Lefi wrth eu henwau; Gerson, a Chohath, a Merari.

18 A dyma enwau meibion Gerson, yn ol eu teuluoedd; Libni, a Simëi.

19 A meibion Cohath, yn ol eu teuluoedd; Amram, Ishar, Hebron, ac Uzzïel.

20 A meibion Merari, yn ol eu teuluoedd; Mahli, a Musi. Dyma deuluoedd Lefi, wrth dŷ eu tadau.

21 O Gerson *y daeth* tylwyth y Libniaid, a thylwyth y Simiaid: dyma deuluoedd y Gersoniaid.

22 Eu rhifedigion hwynt, dan rif pob gwrryw o fab misyriad ac uchod, eu rhifedigion, *meddaf*, *oedd* saith mil a phum cant.

23 Teuluoedd y Gersoniaid a wersyllant ar y tu ol i'r tabernacl tu a'r gorllewin.

24 A phennaeth tŷ tad y Gersoniaid *fydd* Elïasaph mab Lael.

25 A [k] chadwraeth meibion Gerson, ym mhabell y cyfarfod, *fydd* [l] y tabernacl, a'r [m] babell, [n] ei tho *hefyd*, a [o] chaundlen drws pabell y cyfarfod,

26 A [p] llenni'r cynteddfa, a [q] chaundlen drws y cynteddfa, yr hwn *sydd* ynghylch y

† Heb. *lanwodd eu llaw.*
1490.
[b] Lef. 10. 1. Pen. 26. 61. 1 Chron. 24. 2.
[c] Edrych Pen. 1. 50.
[d] Pen. 8. 19.
[e] Ad. 38. Pen. 16. 40.
[f] Pen. 8. 16. a 18. 6.
[g] Exod. 13. 2. Lef. 27. 26. Pen. 8. 16. Luc 2. 23.
[h] Exod. 13. 12, 15.
‡ Neu, *mis oed.*
§ Heb. *enau.*
[i] Gen. 46. 11. Exod. 6. 16. Pen. 26. 56. 1 Cor. 6. 1. a 23. 6.
[k] Pen. 4. 24.
[l] Exod. 25. 9.
[m] Exod. 26. 1.
[n] Exod. 26. 7, 14.
[o] Exod. 26. 36.
[p] Exod. 27. 9.
[q] Exod. 27. 16.

tabernacl, a'r allor o amgylch, [r] a'i rhaffau i'w holl wasanaeth.

27 ¶ Ac o Cohath *y daeth* tylwyth yr Amramiaid, a thylwyth yr Ishariaid, a thylwyth yr Hebroniaid, a thylwyth yr Uzzïeliaid: dyma dylwyth y Cohathiaid.

28 Rhifedi'r holl wrrywiaid, o fab misyriad ac uchod, *oedd* wyth mil a chwe chant, yn cadw cadwraeth y cyssegr.

29 Teuluoedd meibion Cohath a wersyllant ar ystlys y tabernacl tu a'r dehau.

30 A phennaeth tŷ tad tylwyth y Cohathiaid *fydd* Elisaphan mab Uzzïel.

31 A'u [s] cadwraeth hwynt *fydd* [t] yr arch, a'r [u] bwrdd, a'r [x] canhwyllbren, a'r [y] allorau, a llestri'r cyssegr, y rhai y gwasanaethant â hwynt, a'r [z] gaundlen, a'i holl wasanaeth.

32 A phennaf ar bennaethiaid y Lefiaid *fydd* Eleazar mab Aaron yr offeiriad; a llywodraeth ar geidwaid cadwraeth y cyssegr *fydd iddo ef.*

33 ¶ O Merari *y daeth* tylwyth y Mahliaid, a thylwyth y Musiaid: dyma dylwyth Merari.

34 A'u rhifedigion hwynt, wrth gyfrif pob gwrryw o fab misyriad ac uchod, *oedd* chwe mil a deucant.

35 A phennaeth tŷ tad tylwyth Merari *fydd* Suriel mab Abihael. Ar ystlys y tabernacl y gwersyllant tu a'r gogledd.

36 Ac [a] || ynghadwraeth meibion Merari *y bydd* ystyllod y tabernacl, a'i drosolion, a'i golofnau, a'i forteisiau, a'i holl offer, a'i holl wasanaeth,

37 A cholofnau'r cynteddfa o amgylch, a'u morteisiau, a'u hoelion, a'u rhaffau.

38 ¶ A'r rhai a wersyllant o flaen y tabernacl tu a'r dwyrain, o flaen pabell y cyfarfod tu a chodiad haul, *fydd* Moses, ac Aaron a'i feibion, y rhai a gadwant gadwraeth y cyssegr, a chadwraeth meibion Israel: a'r [b] dïeithr a ddelo yn agos, a roddir i farwolaeth.

39 [c] Holl rifedigion y Lefiaid, y rhai a rifodd Moses ac Aaron, yn ol gair yr ARGLWYDD, trwy eu teuluoedd, *sef* pob gwrryw o fab misyriad ac uchod, *oedd* ddwy fil ar hugain.

40 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, Cyfrif bob cyntaf-anedig gwrryw o feibion Israel, o fab misyriad ac uchod, a chymmer rifedi eu henwau hwynt.

41 A chymmer y Lefiaid i mi (myfi *yw* yr ARGLWYDD) yn lle holl gyntaf-anedig meibion Israel, ac anifeiliaid y Lefiaid yn lle pob cyntaf-anedig o anifeiliaid meibion Israel.

42 A Moses a rifodd, megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD iddo, bob cyntaf-anedig o feibion Israel.

43 A'r rhai cyntaf-anedig oll, o rai gwrryw, dan rif eu henwau, o fab misyriad ac uchod, o'u rhifedigion hwynt, oedd ddwy fil ar hugain a dau cant a thri ar ddeg a thrugain.

44 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

45 Cymmer y Lefiaid yn lle pob cyntaf-anedig o feibion Israel, ac anifeiliaid y Lefiaid yn lle eu hanifeiliaid hwynt; a bydded y Lefiaid i mi: myfi *yw*'r ARGLWYDD.

46 Ac am y rhai sy i'w prynu o'r tri ar ddeg a thrugain a deucant, o gyntaf-anedig meibion Israel, y rhai sy dros ben y Lefiaid;

[r] Exod. 35. 18.
[s] Pen. 4. 4, 15.
[t] Exod. 25. 10.
[u] Exod. 25. 23.
[x] Exod. 25. 31.
[y] Exod. 27. 1. a 30. 1.
[z] Exod. 26. 31.
[a] Pen. 4. 31.
|| Neu, *yn swydd cadwraeth.*
[b] Ad. 10.
[c] Edrych Pen. 26. 62.

47 Cymmer bûm sicl am bob pen; yn ol sicl y cyssegr y cymmeri. d Ugain gerah *fydd* y sicl. [d Exod. 30. 13. Lef. 27. 25. Pen. 18. 16. Ezec. 45. 12.]

48 A dod yr arian, gwerth y rhai sydd yn ychwaneg o honynt, i Aaron ac i'w feibion.

49 A chymmerodd Moses arian y prynedigaeth, y rhai oedd dros ben y rhai a brynwyd am y Lefiaid:

50 Gan gyntaf-anedig meibion Israel y cymmerodd efe 'r arian; pump a thrugain a thrichant a mil, o siclau'r cyssegr.

51 A Moses a roddodd arian y prynedigion i Aaron, ac i'w feibion, yn ol gair yr ARGLWYDD; megis y gorchymynasai 'r ARGLWYDD i Moses.

## PEN. IV.

1 *Oedran a chylch gwasanaeth y Lefiaid.* 4 *Clud y Cohathiaid, wedi i'r offeiriaid dynnu i lawr y babell.* 16 *Goruchwyliaeth Eleazar.* 17 *Swydd yr offeiriaid.* 21 *Clud y Gersoniaid,* 29 *a'r Merariaid.* 34 *Rhifedi'r Cohathiaid,* 38 *y Gersoniaid,* 42 *a'r Merariaid.*

1490. A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, ac wrth Aaron, gan ddywedyd,

2 Cymmer nifer meibion Cohath o blith meibion Lefi, wrth eu teuluoedd, yn ol tŷ eu tadau;

3 a O fab deng mlwydd ar hugain ac uchod, hyd fab deng mlwydd a deugain, pob un a elo i'r llu, i wneuthur gwasanaeth ym mhabell y cyfarfod. [a Edrych Pen. 8. 24.]

4 Dyma weinidogaeth meibion Cohath, ym mhabell y cyfarfod, *ynghylch* y pethau sancteiddiolaf.

5 ¶ A deued Aaron a'i feibion, pan gychwyno'r gwersyll, a thynnant i lawr b y wahanlen orchudd, a gorchuddiant â hi arch y dystiolaeth: [b Exod. 26. 31.]

6 A gosodant ar hynny dô o grwyn daearfoch, a thanant arni wisg o *sidan* glas i gŷd, a gosodant c ei throsolion *wrthi*. [c Exod. 25. 13.]

7 Ac ar d fwrdd *y bara* dangos y tanant frethyn glas, a gosodant ar hynny y dysglau, a'r cwppanau, a'r phiolau, a'r caeadau † i gau: a bydded y bara bob amser arno. [d Exod. 25. 30. † Neu, *dywallt*.]

8 A thanant arnynt wisg o 'sgarlad, a gorchuddiant hwnnw â gorchudd o groen daearfoch, a gosodant ei drosolion *wrtho*.

9 Cymmerant hefyd wisg o *sidan* glas, a gorchuddiant e ganhwyllbren y goleuni, f a'i lampau, a'i efeiliau, a'i gafnau, a holl lestri 'r olew, y rhai y gwasanaethant ef â hwynt. [e Exod. 25. 31. f Exod. 25. 37, 38.]

10 A gosodant ef a'i holl ddodrefn mewn gorchudd o groen daearfoch, a gosodant *ef* ar drosol.

11 A thanant frethyn glas ar yr allor aur, a gorchuddiant hi â gorchudd o groen daearfoch, a gosodant ei throsolion *wrthi*.

12 Cymmerant hefyd holl ddodrefn y gwasanaeth, y rhai y gwasanaethant â hwynt yn y cyssegr, a rhoddant mewn brethyn glas, a gorchuddiant hwynt mewn gorchudd o groen daearfoch, a gosodant ar drosol.

13 A thynnant allan ludw'r allor, a thanant arni wisg borphor.

14 A rhoddant arni ei holl lestri, â'r rhai y gwasanaethant hi, *sef* y pedyll tân, y cigweiniau, a'r rhawiau, a'r ‡ cawgiau, *ie* holl lestri 'r allor, a thanant arni orchudd o groen daearfoch, a gosodant ei throsolion wrthi. [‡ Neu, *phiolau*.]

15 Pan ddarffo i Aaron ac i'w feibion orchuddio'r cyssegr, a holl ddodrefn y cyssegr, pan gychwyno'r gwersyll; wedi hynny deued meibion Cohath i'w dwyn *hwynt*: ond g na chyffyrddant â'r hyn a fyddo cyssegredig, rhag iddynt farw. h Dyma faich meibion Cohath ym mhabell y cyfarfod. [g Edrych 2 Sam. 6. 6. h Pen. 3. 31.]

16 ¶ Ac i swydd Eleazar mab Aaron yr offeiriad *y perthyn* i olew'r goleuni, k a'r arogl-darth peraidd, l a'r bwyd-offrwm gwastadol, ac m olew'r enneiniad, *a* goruchwyliaeth yr holl dabernacl, a'r hyn oll *fydd* ynddo, yn y cyssegr, ac yn ei ddodrefn. [i Exod. 25. 6. k Exod. 30. 34. l Exod. 29. 40. m Exod. 30. 23.]

17 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses ac Aaron, gan ddywedyd,

18 Na thorrwch ymaith lwyth tylwyth y Cohathiaid o blith y Lefiaid:

19 Ond hyn a wnewch iddynt, fel y byddont fyw, ac na fyddont feirw, pan nesânt at y pethau sancteiddiolaf: Aaron a'i feibion a ânt i mewn, ac a'u gosodant hwy bob un ar ei wasanaeth ac ar ei glud.

20 Ond n nac ant i edrych pan fydder yn gorchuddio'r hyn sydd gyssegredig, rhag marw o honynt. [n Edrych Exod. 19. 21. 1 Sam. 6. 19.]

21 ¶ A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, gan ddywedyd,

22 Cymmer nifer meibion Gerson hefyd, trwy dŷ eu tadau, wrth eu teuluoedd;

23 O fab dengmlwydd ar hugain ac uchod, hyd fab dengmlwydd a deugain, y rhifi hwynt; pob un a ddel i § ddwyn swydd, i wasanaethu gwasanaeth ym mhabell y cyfarfod. [§ Heb. *filwrio milwriaeth*.]

24 Dyma weinidogaeth tylwyth y Gersoniaid, o wasanaeth ac o glud.

25 Sef o dwyn o honynt lenni 'r tabernacl, a phabell y cyfarfod, ei lenn dô ef, a'r to *o grwyn* daearfoch, yr hwn *sydd* yn uchaf arno, a chuddlen drws pabell y cyfarfod, [o Pen. 3. 25.]

26 A llenni 'r cynteddfa, a chuadlen drws porth y cynteddfa, yr hwn *sydd* ynghylch y tabernacl, a'r allor o amgylch, a'i rhaffau, a holl offer eu gwasanaeth hwynt, a'r hyn oll a wnaed iddynt: felly y gwasanaethant hwy.

27 Wrth || orchymyn Aaron a'i feibion y bydd holl wasanaeth meibion y Gersoniaid, yn eu holl glud, ac yn eu holl wasanaeth: a dodwch attynt eu holl glud i'w cadw. [|| Heb. *enau*.]

28 Dyma wasanaeth tylwyth meibion Gerson ym mhabell y cyfarfod; ac ar law Ithamar mab Aaron yr offeiriad *y bydd* eu llywodraethu hwynt.

29 ¶ A meibion Merari, trwy eu teuluoedd, wrth dŷ eu tadau, y cyfrifi hwynt;

30 O fab dengmlwydd ar hugain ac uchod, hyd fab dengmlwydd a deugain, y rhifi hwynt; pob un a ddel i † ddwyn swydd, i wasanaethu gwasanaeth pabell y cyfarfod. [† Heb. *i'r filwriaeth*.]

31 A p dyma oruchwyliaeth eu clud hwynt, yn eu holl wasanaeth ym mhabell y cyfarfod; *sef* q ystyllod y tabernacl, a'i farrau, a'i golofnau, a'i forteisiau, [p Pen. 3. 36. q Exod. 26. 15.]

32 A cholofnau'r cynteddfa oddi amgylch, a'u morteisiau, a'u hoelion, a'u rhaffau, ynghŷd â'u holl offer, ac ynghŷd â'u holl wasanaeth: rhifwch hefyd y dodrefn erbyn eu henwau y rhai a gadwant *ac a* gludant hwy.

33 Dyma wasanaeth tylwyth meibion Merari, yn eu holl weinidogaeth ym mhabell y cyfarfod, dan law Ithamar fab Aaron yr offeiriad.

34 ¶ A rhifodd Moses ac Aaron, a phen-
naethiaid y gynnulleidfa, feibion Cohath,
trwy eu teuluoedd, ac yn ol tŷ eu tadau;
35 O fab dengmlwydd ar hugain ac uchod,
hyd fab dengmlwydd a deugain, *sef* pob
un a ddelai mewn swydd i wasanaethu ym
mhabell y cyfarfod:
36 A'u rhifedigion trwy eu teuluoedd,
oedd ddwy fil saith gant a deg a deugain.
37 Dyma rifedigion tylwyth y Cohath-
iaid, *sef* pob gwasanaethydd ym mhabell y
cyfarfod; y rhai a rifodd Moses ac Aaron,
wrth orchymyn yr ARGLWYDD trwy law
Moses.
38 Rhifedigion meibion Gerson hefyd,
trwy eu teuluoedd, ac yn ol tŷ eu tadau;
39 O fab dengmlwydd ar hugain ac uch-
od, hyd fab dengmlwydd a deugain, *sef*
pob un a ddelai mewn swydd i wasanaethu
ym mhabell y cyfarfod:
40 A'u rhifedigion hwynt trwy eu teu-
luoedd, yn ol tŷ eu tadau, oeddynt ddwy
fil a chwe chant a deg ar hugain.
41 Dyma rifedigion tylwyth meibion Ger-
son, *sef* pob gwasanaethydd ym mhabell y
cyfarfod: y rhai a rifodd Moses ac Aaron,
wrth orchymyn yr ARGLWYDD.
42 ¶ A rhifedigion tylwyth meibion Me-
rari, trwy eu teuluoedd, yn ol tŷ eu tadau;
43 O fab dengmlwydd ar hugain ac uch-
od, hyd fab dengmlwydd a deugain, *sef* pob
un a ddelai mewn swydd i wasanaethu ym
mhabell y cyfarfod:
44 A'u rhifedigion hwynt trwy eu teu-
luoedd, oeddynt dair mil a dau gant.
45 Dyma rifedigion tylwyth meibion
Merari, y rhai a rifodd Moses ac Aaron, wrth
orchymyn yr ARGLWYDD trwy law Moses.
46 Yr holl rifedigion, y rhai a rifodd
Moses ac Aaron, a phennaethiaid Israel,
o'r Lefiaid, trwy eu teuluoedd, ac yn ol tŷ
eu tadau;
47 O fab dengmlwydd ar hugain ac uchod,
hyd fab dengmlwydd a deugain, *sef* pob un
a ddelai i wneuthur gwaith gwasanaeth,
neu waith clud ym mhabell y cyfarfod:
48 A'u rhifedigion oeddynt wyth mil
pum cant a phedwar ugain.
49 Wrth orchymyn yr ARGLWYDD, trwy
law Moses y rhifodd efe hwy, pob un wrth
ei wasanaeth, ac wrth ei glud: fel hyn y
rhifwyd hwynt, fel y gorchymynasai 'r AR-
GLWYDD wrth Moses.

## PEN. V.

1 *Symmudo 'r aflan allan o'r gwersyll.* 5 *Rhaid
yw gwneuthur iawn dros gamweddau.* 11
*Eiddigedd, pa un ai heb achos, ai trwy achos
y mae.*

1490. A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses,
gan ddywedyd,
2 Gorchymyn i feibion Israel, anfon allan
a Lef. 13. 3, 46. o'r gwersyll bob [a] gwahan-glwyfus, a phob
b Lef. 15. 2. un y byddo [b] diferlif arno, a phob un a ha-
logir wrth [c] y marw.
c Lef. 21. 1. Pen. 9. 6, 10. a 19. 11. a 31. 19. 3 Yn wrryw ac yn fenyw yr anfonwch
*hwynt,* allan o'r gwersyll yr anfonwch
hwynt; fel na halogont eu gwersylloedd, y
rhai yr ydwyf fi yn preswylio yn eu plith.
4 A meibion Israel a wnaethant felly,
ac a'u hanfonasant hwynt i'r tu allan i'r
gwersyll: megis y llefarodd yr ARGLWYDD
wrth Moses, felly y gwnaeth meibion Is-
rael.
5 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, gan ddywedyd,

6 Llefara wrth feibion Israel, [d] Os gwr d Lef. 6. 2, 3.
neu wraig a wna *un* o holl bechodau dyn-
ol, gan wneuthur camwedd yn erbyn yr
ARGLWYDD, a bod o'r enaid hwnnw yn
euog:
7 Yna cyffesant eu pechod a wnaethant;
a rhodded yn ei ol yr hyn a fyddo efe euog
o hono [e] erbyn ei ben, a chwaneged ei bum- e Lef. 6. 5.
med *ran* atto, a rhodded i'r *hwn* y gwnaeth
efe gam ag ef.
8 Ac oni bydd i'r gwr gyfnesaf i dalu *am*
y camwedd iddo, *yr iawn am* y camwedd yr
hwn a delir i'r ARGLWYDD, *fydd* eiddo 'r
offeiriad; heb law [f] 'r hwrdd cymmod yr f Lef. 6. 6.
hwn y gwna efe gymmod ag ef trosto. a 7. 8.
9 A phob [g] offrwm dyrchafael, o holl g Exod. 29. 28.
sanctaidd bethau meibion Israel, y rhai a Lef. 6. 18,
offrymmant at yr offeiriad, fydd eiddo ef. 26. a 7. 6,
10 A sancteiddio gwr, eiddo ef fyddant: 32.
hyn a roddo neb i'r offeiriad, [h] eiddo ef fydd. Pen. 18. 8. Deut. 18. 3.
11 ¶ Llefarodd yr ARGLWYDD hefyd h Lef. 10. 13.
wrth Moses, gan ddywedyd,
12 Llefara wrth feibion Israel, a dywed
wrthynt, Pob gwr pan wyro ei wraig ef, a
gwneuthur bai yn ei erbyn ef;
13 A bod i wr a wnelo â hi, a bod yn
guddiedig o olwg ei gwr hi, ac yn gyfrin-
achol, a hithau wedi ei halogi, ac heb dyst
yn ei herbyn, a hithau heb ei dal *ar ei
gweithred;*
14 A dyfod † gwŷn eiddigedd arno, ac † yspryd.
eiddigeddu o hono wrth ei wraig, a hithau
wedi ei halogi; neu ddyfod yspryd eiddig-
edd arno, ac eiddigeddu o hono wrth ei
wraig, a hithau heb ei halogi:
15 Yna dyged y gwr ei wraig at yr offei-
riad, a dyged ei hoffrwm drosti hi, degfed
*ran* ephah o flawd haidd: na thywallted
olew arno, ac na rodded thus arno; canys
offrwm eiddigedd *yw,* offrwm coff yn coffau
anwiredd.
16 A nesâed yr offeiriad hi, a phared iddi
sefyll ger bron yr ARGLWYDD.
17 A chymmered yr offeiriad ddwfr
sanctaidd mewn llestr pridd, a chymmered
yr offeiriad o'r llwch fyddo ar lawr y taber-
nacl, a rhodded yn y dwfr.
18 A phared yr offeiriad i'r wraig sefyll
ger bron yr ARGLWYDD, a diosged oddi
am ben y wraig, a rhodded yn ei dwylaw
offrwm y coffa; offrwm eiddigedd *yw* efe:
ac yn llaw 'r offeiriad y bydd y dwfr
chwerw sy'n peri 'r felldith.
19 A thynged yr offeiriad hi, a dyweded
wrth y wraig, Oni orweddodd gwr gyd â
thi, ac oni wyraist i aflendid *gyd ag arall*
‡ yn lle dy wr, bydd di ddiniweid oddi ‡ Neu, *a thi yn meddiant dy wr.*
wrth y dwfr chwerw hwn sy'n peri 'r fell-
dith.
20 Ond os gwyraist ti oddi wrth dy wr, Heb.
ac os halogwyd di, a chydio o neb â thi *dan dy wr.*
heb law dy wr dy hun:
21 (Yna tynghedeg yr offeiriad y wraig
â llw melldith, a dyweded yr offeiriad
wrth y wraig,) rhodded yr ARGLWYDD
dydi yn felldith ac yn llw ym mysg dy
bobl, pan wnelo 'r ARGLWYDD dy forddd-
wyd § yn bwdr, a'th groth yn chwydd- § Heb. *syrthio.*
edig;
22 Ac aed y dwfr melldigedig hwn i'th
goluddion, i chwyddo dy groth, ac i bydru
dy forddwyd. A dyweded y wraig, Amen,
amen.
23 Ac ysgrifened yr offeiriad y melldith-
ion hyn mewn llyfr, a golched *hwynt* ym-
aith â'r dwfr chwerw.

24 A phared i'r wraig yfed o'r dwfr chwerw sy'n peri'r felldith: ac aed y dwfr sy'n peri'r felldith i'w mewn hi, yn chwerw.

25 A chymmered yr offeiriad o law'r wraig offrwm yr eiddigedd; a chyhwfaned yr offrwm ger bron yr ARGLWYDD, ac offrymmed ef ar yr allor.

26 A chymmered yr offeiriad o'r offrwm lonaid ei law, ei goffadwriaeth, a llosged ar yr allor; ac wedi *hynny* pared i'r wraig yfed y dwfr.

27 Ac wedi iddo beri iddi yfed y dwfr, bydd, os hi a halogwyd, ac a wnaeth fai yn erbyn ei gwr; yr â'r dwfr sy'n peri'r felldith yn chwerw ynddi, ac a chwydda ei chroth, ac a bydra ei morddwyd: a'r wraig [i] a fydd yn felldith ym mysg ei phobl.

i Deut. 28. 37. Psalm 83. 9, 11. Jer. 24. 9. & 29. 18, 22. & 42. 18. Zec. 8. 13.

28 Ond os y wraig ni halogwyd, eithr glân yw; yna hi a fydd ddiangol, ac a blanta.

29 Dyma gyfraith eiddigedd, pan wyro gwraig *at arall* yn lle ei gwr, ac ymhalogi:

30 Neu os daw ar wr wŷn eiddigedd, a dal o hono eiddigedd wrth ei wraig; yna gosoded y wraig i sefyll ger bron yr ARGLWYDD, a gwnaed yr offeiriad iddi yn ol y gyfraith hon.

31 Ar gwr fydd dïeuog o'r anwiredd, a'r wraig a ddwg ei hanwiredd ei hun.

## PEN. VI.

1 *Cyfraith y Nazaread.* 24 *Y dull y bendithir y bobl.*

1490. LLEFARODD yr ARGLWYDD hefyd wrth Moses, gan ddywedyd,

2 Llefara wrth feibion Israel, a dywed wrthynt, Pan ymneillduo gwr neu wraig i addo adduned Nazaread, † i ymneillduo i'r ARGLWYDD:

† Heb. *i ymnazareiddio.*

3 Ymneilldued oddi wrth win a dïod gref; nac yfed finegr gwin, na finegr dïod gref; nac yfed chwaith ddim sugn grawnwin, ac na fwyttâed rawnwin irion, na sychion.

4 Holl ddyddiau ei Nazareaeth ni chaiff fwytta o ddim oll a wneir o winwydden y gwin, o'r dincod hyd y bilionen.

5 Holl ddyddiau adduned ei Nazareaeth ni chaiff [a] ellyn fyned ar ei ben: nes cyflawni y dyddiau'r ymneillduodd efe i'r ARGLWYDD, sanctaidd fydd; gadawed i gudynnau gwallt ei ben dyfu.

a Barn. 13. 5. 1 Sam. 1. 11.

6 Holl ddyddiau ei ymneillduaeth i'r ARGLWYDD, [b] na ddeued at gorph marw.

b Pen. 19. 11.

7 [c] Nac ymhaloged wrth ei dad, neu wrth ei fam, wrth ei frawd, neu wrth ei chwaer, pan fyddant feirw; am *fod* Nazareaeth ei DDUW ar ei ben ef.

c Lef. 21. 1.

8 Holl ddyddiau ei Nazareaeth, sanctaidd *fydd* efe i'r ARGLWYDD.

9 Ond os marw fydd un yn ei ymyl ef yn ddisymmwth, a halogi pen ei Nazareaeth; yna eillied ei ben [d] ar ddydd ei burediaeth, ar y seithfed dydd yr eillia efe ef.

d 1 Chron. 19. 14.

10 Ac [e] ar yr wythfed dydd y dwg ddwy durtur, neu ddau gyw colommen, at yr offeiriad, i ddrws pabell y cyfarfod.

e Lef. 5. 7. & 14. 22. & 15. 14, 29.

11 Ac offrymmed yr offeiriad un yn bech-aberth, ac un yn boeth-offrwm, a gwnaed gymmod drosto, am yr hyn a bechodd wrth y marw; a sancteiddied ei ben ef y dydd hwnnw.

12 A neilldued i'r ARGLWYDD ddyddiau ei Nazareaeth, a dyged oen blwydd [f] yn offrwm dros gamwedd: ‡ ac aed y dyddiau cyntaf yn ofer, am halogi ei Nazareaeth ef.

f Lef. 5. 6. ‡ Heb. *a chwymp-ed.*

13 ¶ A dyma gyfraith y Nazaread: pan gyflawner dyddiau ei Nazareaeth, dyger ef i ddrws pabell y cyfarfod.

14 A dyged yn offrwm drosto i'r ARGLWYDD, un hespwrn blwydd, perffeith-gwbl, yn boeth-offrwm; ac un hespin flwydd, berffeith-gwbl, [g] yn bech-aberth; ac un hwrdd perffeith-gwbl, [h] yn aberth hedd;

g Lef. 4. 2, 27, 32. h Lef. 3. 6.

15 Cawellaid o fara croyw hefyd, *sef* [i] teisenau peilliaid wedi eu tylino trwy olew, ac afrllad croyw wedi eu henneinio ag olew, a'u bwyd-offrwm, a'u dïod-offrwm hwy.

i Lef. 2. 4.

16 A dyged yr offeiriad *hwynt* ger bron yr ARGLWYDD, ac offrymmed ei bech-aberth a'i boeth-offrwm ef.

17 Offrymmed hefyd yr hwrdd yn aberth hedd i'r ARGLWYDD, ynghŷd â'r cawellaid bara croyw; ac offrymmed yr offeiriad ei fwyd-offrwm a'i ddïod offrwm ef.

18 Ac [k] eillied y Nazaread *wrth* ddrws pabell y cyfarfod ben ei Nazareaeth; a chymmered flew pen ei Nazareaeth, a rhodded ar y tân *a fyddo* dan yr aberth hedd.

k Act. 21. 24.

19 Cymmered yr offeiriad hefyd balfais o'r hwrdd wedi ei berwi, ac un deisen groyw o'r cawell, ac un afrlladen groyw; a rhodded ar ddwylaw'r Nazaread, wedi eillio o hono ei Nazareaeth.

20 A chyhwfaned yr offeiriad hwynt [l] *yn* offrwm cyhwfan ger bron yr ARGLWYDD: sanctaidd *yw* hyn i'r offeiriad, heb law parwyden y cyhwfan, a phalfais y dyrchafael. Ac wedi *hyn* y caiff y Nazaread yfed gwin.

l Exod. 29. 27, 28.

21 Dyma gyfraith y Nazaread a addunedodd, a'i offrwm i'r ARGLWYDD am ei Nazareaeth, heb law'r *hyn* a gyrhaeddo ei law ef: fel *y byddo* ei adduned a addunedo, felly gwnaed, heb law cyfraith ei Nazareaeth.

22 ¶ Llefarodd yr ARGLWYDD hefyd wrth Moses, gan ddywedyd,

23 Llefara wrth Aaron ac wrth ei feibion, gan ddywedyd, Fel hyn y bendithiwch feibion Israel, *gan* ddywedyd wrthynt,

24 Bendithied yr ARGLWYDD di, a chadwed di:

25 A llewyrched yr ARGLWYDD ei wyneb arnat, a thrugarhâed wrthyt:

26 [m] Dyrchafed yr ARGLWYDD ei wyneb arnat, a rhodded it' dangnefedd.

m Psalm 4. 6.

27 Felly y gosodant fy enw ar feibion Israel, a mi a'u bendithiaf hwynt.

## PEN. VII.

1 *Offrwm y tywysogion wrth gyssegru'r tabernacl.* 10 *Offrwm pob un o honynt wrth gyssegru'r allor.* 89 *Duw yn llefaru wrth Moses o'r drugareddfa.*

1490. AC ar y dydd y gorphenodd Moses [a] godi'r tabernacl, a'i enneinio, a'i sancteiddio ef, a'i holl ddodrefn, yr allor hefyd a'i holl ddodrefn, a'u henneinio a'u sancteiddio hwynt;

a Exod. 40. 18. Lef. 8. 10.

2 [b] Yr offrymmodd tywysogion Israel, pennaethiaid tŷ eu tadau (y rhai *oedd* dywysogion y llwythau, ac wedi eu gosod ar y rhifedigion:)

b Pen. 1. 4, &c.

3 A'u hoffrwm a ddygasant hwy ger bron yr ARGLWYDD, chwech o fenni diddos, a deuddeg o ychen; menn dros *bob* dau dywysog, ac ych dros *bob* un: a cher bron y tabernacl y dygasant hwynt.

4 A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

5 Cymmer ganddynt, a byddant i wasa-

naethu gwasanaeth pabell y cyfarfod; a dod hwynt i'r Lefiaid, i bob un yn ol ei wasanaeth.

6 A chymmerodd Moses y menni, a'r ychen, ac a'u rhoddodd hwynt i'r Lefiaid.

7 Dwy fenn a phedwar ŷch a roddes efe i feibion Gerson, yn ol eu gwasanaeth hwynt;

8 A phedair menn ac wyth ychen a roddodd efe i feibion Merari, yn ol eu gwasanaeth hwynt, [c] dan law Ithamar fab Aaron yr offeiriad.

[c] Pen. 4. 28, 33.

9 Ond i feibion Cohath ni roddodd efe *ddim*, am *fod* [d] gwasanaeth y cyssegr arnynt: [e] ar eu hysgwyddau y dygent *hwnnw*.

[d] Pen. 4. 15.
[e] Pen. 4. 6, 8, 10, 12, 14. 2 Sam. 6. 6, 13.

10 ¶ A'r tywysogion a offrymmasant *tu ag at* [f] gyssegru'r allor, ar y dydd yr eneiniwyd hi; a cher bron yr allor y dug y tywysogion eu rhoddion.

[f] Edrych Deut. 20. 5. 1 Bren. 8. 63. Ezra 6. 16. Neh. 12. 27. Psalm 30. tit.

11 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, Pob tywysog ar ei ddiwrnod a offrymmant eu hoffrymmau, tu ag at gyssegru'r allor.

12 ¶ Ac ar y dydd cyntaf yr oedd yn offrymmu ei offrwm, Nahson mab Aminadab, dros lwyth Judah.

13 A'i offrwm ef *ydoedd* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol [g] sicl y cyssegr, yn llawn ill dwyoedd o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew, [h] yn fwyd-offrwm:

[g] Exod. 30. 13.
[h] Lef. 2. 1.

14 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogldarth:

15 [i] Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

[i] Lef. 1. 2.

16 Un bwch geifr [k] yn bech-aberth:

[k] Lef. 4. 23.

17 Ac [l] yn aberth hedd, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Nahson fab Aminadab.

[l] Lef. 3. 1.

18 ¶ Ac ar yr ail dydd yr offrymmodd Nethaneel mab Suar, tywysog Issachar.

19 Efe a offrymmodd ei offrwm, *sef* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol y sicl sanctaidd, yn llawn ill dwyoedd o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew, yn fwyd-offrwm:

20 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogldarth:

21 Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

22 Un bwch geifr yn bech-aberth:

23 Ac yn aberth hedd, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Nethaneel fab Suar.

24 ¶ Ar y trydydd dydd *yr offrymmodd* Elïab mab Helon, tywysog meibion Zabulon.

25 Ei offrwm ef *ydoedd* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol y sicl sanctaidd, yn llawn ill dwyoedd o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew, yn fwyd-offrwm:

26 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogldarth:

27 Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

28 Un bwch geifr yn bech-aberth:

29 Ac yn hedd-aberth, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Elïab mab Helon.

30 ¶ Ar y pedwerydd dydd *yr offrymmodd* Elisur mab Sedëur, tywysog meibion Reuben.

31 Ei offrwm ef *ydoedd* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol y sicl sanctaidd, yn llawn ill dwyoedd o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew, yn fwyd-offrwm:

32 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogldarth:

33 Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

34 Un bwch geifr yn bech-aberth:

35 Ac yn hedd-aberth, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Elisur mab Sedëur.

36 ¶ Ar y pummed dydd *yr offrymmodd* Selumiel mab Surisadai, tywysog meibion Simeon.

37 Ei offrwm ef *ydoedd* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol y sicl sanctaidd, yn llawn ill dwyoedd o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew, yn fwyd-offrwm:

38 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogldarth:

39 Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

40 Un bwch geifr yn bech-aberth:

41 Ac yn hedd-aberth, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Selumiel mab Surisadai.

42 ¶ Ar y chweched dydd *yr offrymmodd* Elïasaph mab Deuel, tywysog meibion Gad.

43 Ei offrwm ef *ydoedd* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol y sicl sanctaidd, yn llawn ill dwyoedd o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew, yn fwyd-offrwm:

44 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogldarth:

45 Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

46 Un bwch geifr yn bech-aberth:

47 Ac yn hedd-aberth, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Elïasaph mab Deuel.

48 ¶ Ar y seithfed dydd *yr offrymmodd* Elisama mab Ammihud, tywysog meibion Ephraim.

49 Ei offrwm ef *ydoedd* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol y sicl sanctaidd, yn llawn ill dwyoedd o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew, yn fwyd-offrwm.

50 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogldarth:

51 Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

52 Un bwch geifr yn bech-aberth:

53 Ac yn hedd-aberth, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Elisama mab Ammihud.

54 ¶ Ar yr wythfed dydd *yr offrymmodd* Gamaliel mab Pedasur, tywysog meibion Manasseh.

55 Ei offrwm ef *ydoedd* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol y sicl sanctaidd, yn llawn ill dwyoedd o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew, yn fwyd-offrwm:

56 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogldarth:

57 Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

58 Un bwch geifr yn bech-aberth:

59 Ac yn hedd-aberth, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Gamaliel mab Pedasur.

60 ¶ Ar y nawfed dydd *yr offrymmodd* Abidan mab Gideoni, tywysog meibion Benjamin.

61 Ei offrwm ef *ydoedd* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol y sicl sanctaidd, yn llawn ill dwyoedd o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew, yn fwyd-offrwm:

62 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogl-darth:

63 Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

64 Un bwch geifr yn bech-aberth:

65 Ac yn hedd-aberth, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Abidan mab Gideoni.

66 ¶ Ar y degfed dydd *yr offrymmodd* Ahïezer mab Amisàdai, tywysog meibion Dan.

67 Ei offrwm ef *ydoedd* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol y sicl sanctaidd, yn llawn ill dwyoedd o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew, yn fwyd-offrwm:

68 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogl-darth:

69 Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

70 Un bwch geifr yn bech-aberth:

71 Ac yn aberth hedd, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Ahïezer mab Amisàdai.

72 ¶ Ar yr unfed dydd ar ddeg *yr offrymmodd* Pagïel mab Ocran, tywysog meibion Aser.

73 Ei offrwm ef *ydoedd* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol y sicl sanctaidd, yn llawn o beilliaid ill dwyoedd wedi ei gymmysgu trwy olew, yn fwyd-offrwm:

74 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogl-darth:

75 Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

76 Un bwch geifr yn bech-aberth:

77 Ac yn hedd-aberth, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Pagïel mab Ocran.

78 ¶ Ar y deuddegfed dydd *yr offrymmodd* Ahira mab Enan, tywysog meibion Naphtali.

79 Ei offrwm ef *ydoedd* un ddysgl arian o ddeg ar hugain a chant *o siclau* ei phwys, un phïol arian o ddeg sicl a thrugain, yn ol y sicl sanctaidd, yn llawn ill dwyoedd o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew, yn fwyd-offrwm:

80 Un llwy aur o ddeg *sicl*, yn llawn arogl-darth:

81 Un bustach ieuangc, un hwrdd, un oen blwydd, yn offrwm poeth:

82 Un bwch geifr yn bech-aberth:

83 Ac yn hedd-aberth, dau ŷch, pum hwrdd, pum bwch, pum hespwrn blwyddiaid. Dyma offrwm Ahira mab Enan.

84 Dyma gyssegriad yr allor, gan dywysogion Israel, ar y dydd yr enneiniwyd hi: deuddeg dysgl arian, deuddeg phïol arian, deuddeg llwy aur:

85 Deg ar hugain a chant *o siclau* arian *ydoedd* pob dysgl, a deg a thrugain pob phïol: holl arian y llestri *oedd* ddwy fil a phedwar cant *o siclau*, yn ol y sicl sanctaidd.

86 Y llwyau aur *oedd* ddeuddeg, yn llawn arogl-darth, o ddeg *sicl* bob llwy, yn ol y sicl sanctaidd: holl aur y llwyau *ydoedd* chwech ugain *sicl*.

87 Holl eidionau'r offrwm poeth *oedd* ddeuddeg bustach, deuddeg o hyrddod, deuddeg o ŵyn blwyddiaid, a'u bwyd-offrwm; a deuddeg o fychod geifr, yn offrwm dros bechod.

88 A holl ychen yr aberth hedd *oedd* bedwar ar hugain o fustych, trugain o hyrddod, trugain o fychod, trugain o hespyrniaid. Dyma gyssegriad yr allor wedi ei henneinio.

89 Ac fel yr oedd Moses yn myned i babell y cyfarfod i lefaru wrth DDUW; yna
efe a glywai [m] lais yn llefaru wrtho oddi ar [m] Exod. 25.
y drugareddfa, yr hon *oedd* ar arch y dystio- 22.
laeth, oddi rhwng y ddau gerub, ac efe a ddywedodd wrtho.

## PEN. VIII.

1 *Y modd y mae goleuo'r lluscrnau.* 5 *Cyssegru'r Lefiaid.* 23 *Oedran a thymmor eu gwasanaeth hwynt.*

A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, 1490.
gan ddywedyd,

2 Llefara wrth Aaron, a dywed wrtho,
Pan [a] oleuech y lampau, llewyrched y saith [a] Exod. 25.
lamp ar gyfer y canhwyllbren. 37. a 40. 25.

3 Ac felly y gwnaeth Aaron; ar gyfer y canhwyllbren y goleuodd efe ei lampau ef, megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD wrth Moses.

4 [b] Dyma waith y canhwyllbren: cyfan- [b] Exod. 25.
waith o aur *fydd* hyd ei baladr, ïe hyd ei 31.
flodau [c] cyfanwaith fydd; [d] yn ol y dull a [c] Exod. 25.
ddangosodd yr ARGLWYDD i Moses, felly y 18.
gwnaeth efe'r canhwyllbren. [d] Exod. 25. 40.

5 ¶ Llefarodd yr ARGLWYDD hefyd wrth Moses, gan ddywedyd,

6 Cymmer y Lefiaid o fysg meibion Israel, a glanhâ hwynt.

7 Ac fel hyn y gwnei iddynt i'w glanhâu:
taenella arnynt [e] ddwfr puredigaeth, a gwn- [e] Pen. 19.
ant i'r ellyn fyned dros eu holl gnawd, a 9.
golchant eu gwisgoedd, ac felly ymlanhânt.

8 Yna cymmerant fustach ieuangc † a'i † Lef. 2. 2.
fwyd-offrwm o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew; a bustach ieuangc arall a gymmeri di yn aberth dros bechod.

9 A phar i'r Lefiaid ddyfod o flaen pabell y cyfarfod; a chynnull holl gynnulleidfa meibion Israel ynghŷd.

10 A dwg y Lefiaid ger bron yr ARGLWYDD; a gosoded meibion Israel eu dwylaw ar y Lefiaid.

11 ‡ Ac offrymmed Aaron y Lefiaid ger ‡ Heb.
bron yr ARGLWYDD, yn § offrwm gan *A chyhwfaned.*
feibion Israel, fel y byddont hwy i wasa- § Heb.
naethu gwasanaeth yr ARGLWYDD. *offrwm*
12 A gosoded y Lefiaid eu dwylaw ar ben *cyhwfan.*
y bustych: ac offrwm dithau un yn bech-aberth, a'r llall yn offrwm poeth i'r ARGLWYDD, i wneuthur cymmod dros y Lefiaid.

13 A gosod y Lefiaid ger bron Aaron, a cher bron ei feibion, ac offrwm hwynt yn offrwm i'r ARGLWYDD.

14 A neilldua'r Lefiaid o blith meibion [f] Pen. 3.
Israel, a [f] bydded y Lefiaid yn eiddof fi. 45.

15 Wedi hynny aed y Lefiaid i mewn i wasanaethu pabell y cyfarfod: a glanhâ di hwynt, ac offrymma hwynt yn offrwm.

16 Canys hwynt a roddwyd yn rhodd i mi o blith meibion Israel: [g] yn lle agorydd pob croth, *sef* pob cyntaf-anedig o feibion Israel, y cymmerais hwynt i mi.

g Pen. 3. 12, 45.

17 [h] Canys i mi *y perthyn* pob cyntaf-anedig ym mhlith meibion Israel, o ddyn ac o anifail: er y dydd y tarewais bob cyntaf-anedig yngwlâd yr Aipht, y sancteiddiais hwynt i mi fy hun.

h Exod. 13. 2, 12, 15. Pen. 3. 13. Luc 2. 23.

18 A chymmerais y Lefiaid yn lle pob cyntaf-anedig o feibion Israel.

19 A [i] rhoddais y Lefiaid yn rhodd i Aaron, ac i'w feibion, o blith meibion Israel, i wasanaethu gwasanaeth meibion Israel ym mhabell y cyfarfod, ac i wneuthur cymmod dros feibion Israel; [k] fel na byddo pla ar feibion Israel, pan ddelo meibion Israel yn agos at y cyssegr.

i Pen. 3. 9.
k Edrych 2 Chron. 26. 16.

20 A gwnaeth Moses ac Aaron, a holl gynnulleidfa meibion Israel, i'r Lefiaid, yn ol yr hyn oll a orchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses am y Lefiaid: felly y gwnaeth meibion Israel iddynt.

21 A'r Lefiaid a lanhâwyd, ac a olchasant eu dillad: ac Aaron a'u hoffrymmodd hwynt yn offrwm ger bron yr ARGLWYDD: a gwnaeth Aaron gymmod drostynt i'w glanhâu hwynt.

22 Ac wedi hynny y Lefiaid a ddaethant i wasanaethu gwasanaeth ym mhabell y cyfarfod, ger bron Aaron a'i feibion; [l] megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD wrth Moses am y Lefiaid, felly y gwnaethant iddynt.

l Pen. 4. 4.

23 ¶ A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, gan ddywedyd,

24 Dyma'r hyn *a berthyn* i'r Lefiaid: o fab pum mlwydd ar hugain ac uchod, y deuant i filwrio milwriaeth yngwasanaeth pabell y cyfarfod.

25 Ac o fab dengmlwydd a deugain y caiff un ddychwelyd yn ei ol o filwriaeth y gwasanaeth, fel na wasanaetho mwy.

26 Ond gwasanaethed gyd â'i frodyr ym mhabell y cyfarfod, i oruchwylio; ac na wasanaethed wasanaeth: fel hyn y gwnai i'r Lefiaid yn eu goruchwyliaeth.

## PEN. IX.

1 *Ail-orchymyn y Pasg.* 6 *Caniattâu ail Basg i'r rhai oedd aflan neu absennol.* 15 *Y cwmmwl yn cyfarwyddo'r Israeliaid i symmudo ac i wersyllu.*

1490. A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses yn anialwch Sinai, yn yr ail flwyddyn wedi eu dyfod hwynt allan o dir yr Aipht, ar y mis cyntaf, gan ddywedyd,

2 Cadwed meibion Israel [a] y Pasg hefyd yn ei dymmor.

a Exod. 12. 1, &c. Lef. 23. 5. Pen. 28. 16. Deut. 16. 2.

3 Ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis hwn, † yn y cyfnos, y cedwch ef yn ei dymmor: yn ol ei holl ddeddfau, ac yn ol ei holl ddefodau, y cedwch ef.

† Heb. rhwng y ddau hwyr.

4 A llefarodd Moses wrth feibion Israel am gadw'r Pasg.

5 A chadwasant y Pasg ar y *mis* cyntaf, ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis, yn y cyfnos, yn anialwch Sinai: yn ol yr hyn oll a orchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses, felly y gwnaeth meibion Israel.

6 ¶ Ac yr oedd dynion y rhai oedd [b] wedi eu halogi wrth gelain dyn, fel na allent gadw'r Pasg ar y dydd hwnnw: a hwy a ddaethant ger bron Moses, a cher bron Aaron, ar y dydd hwnnw.

b Pen. 5. 2. a 19. 11.

7 A'r dynion hynny a ddywedasant wrtho, *Yr ydym* ni wedi 'n halogi wrth gorph dyn marw: pa ham y'n gwaherddir rhag offrymmu offrwm i'r ARGLWYDD yn ei dymmor ym mysg meibion Israel?

8 A dywedodd Moses wrthynt, Sefwch, a mi a wrandawaf beth a orchymyno'r ARGLWYDD o'ch plegid.

9 ¶ A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, gan ddywedyd,

10 Llefara wrth feibion Israel, gan ddywedyd, Pan fyddo neb wedi ei halogi gan gorph marw, neu *neb* o honoch neu o'ch hiliogaeth mewn ffordd bell, etto cadwed Basg i'r ARGLWYDD.

11 [c] Ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r ail mis, yn y cyfnos, y cadwant ef: ynghyd â bara croyw, a *dail* chwerwon y bwyttânt ef.

c 2 Chron. 30. 2, 15.

12 [d] Na weddillant *ddim* o hono hyd y bore, ac [e] na thorrant asgwrn o hono: yn ol holl ddeddf y Pasg y cadwant ef.

d Exod. 12. 10.
e Exod. 12. 46. Ioan 19. 36.

13 A'r gwr a fyddo glân, a heb fod mewn taith, ac a beidio a chadw'r Pasg, torrir ymaith yr enaid hwnnw o fysg ei bobl, am na offrymmodd offrwm yr ARGLWYDD yn ei dymmor: ei bechod a ddwg y gwr hwnnw.

14 A phan ymdeithio dïeithr gyd â chwi, ac ewyllysio cadw Pasg i'r ARGLWYDD; fel *y byddo* deddf y Pasg a'i ddefod, felly y ceidw: [f] yr un ddeddf fydd i chwi, *sef* i'r dïeithr ac i'r un fydd â'i enedigaeth o'r wlad.

f Exod. 12. 49.

15 ¶ Ac [g] ar y dydd y codwyd y tabernacl, y cwmmwl a gauodd am y tabernacl dros babell y dystiolaeth; [h] a'r hwyr yr ydoedd ar y tabernacl megis gweledigaeth tân hyd y bore.

g Exod. 40. 34.
h Exod. 13. 21. a 40. 38.

16 Felly yr ydoedd yn wastadol: y cwmmwl a gauai am dano '*r dydd*, a'r gweledigaeth tân y nos.

17 A phan gyfodai 'r cwmmwl oddi ar y babell, wedi hynny y cychwynai meibion Israel: ac yn y lle yr arhosai 'r cwmmwl ynddo, yno y gwersyllai meibion Israel.

18 Wrth orchymyn yr ARGLWYDD y cychwynai meibion Israel, ac wrth orchymyn yr ARGLWYDD y gwersyllent: [i] yr holl ddyddiau yr arhosai 'r cwmmwl ar y tabernacl, yr arhosent yn y gwersyll.

i 1 Cor. 10. 1.

19 A phan drigai 'r cwmmwl yn hir ar y tabernacl lawer o ddyddiau, yna meibion Israel a gadwent wyliadwriaeth yr ARGLWYDD, ac ni chychwynent.

20 Ac os byddai 'r cwmmwl ychydig ddyddiau ar y tabernacl, wrth orchymyn yr ARGLWYDD y gwersyllent, ac wrth orchymyn yr ARGLWYDD y cychwynent.

21 Hefyd os byddai 'r cwmmwl o hwyr hyd fore, a chyfodi o'r cwmmwl y bore; hwythau a symmudent: pa un bynnag ai dydd ai nos *fyddai* pan gyfodai 'r cwmmwl, yna y cychwynent.

22 Os deuddydd, os mis, os blwyddyn *fyddai* tra y trigai 'r cwmmwl ar y tabernacl, gan aros arno, meibion Israel [k] a arhosent yn eu pebyll, ac ni chychwynent: ond pan godai efe, y cychwynent.

k Exod. 40. 36, 37.

23 Wrth air yr ARGLWYDD y gwersyllent, ac wrth air yr ARGLWYDD y cychwynent: *felly* y cadwent wyliadwriaeth yr ARGLWYDD, yn ol gair yr ARGLWYDD trwy law Moses.

## PEN. X.

1 *Beth a wneid â'r udgyrn arian.* 11 *Yr Israeliaid yn symmudo o Sinai i Paran.* 14 *Trefn eu cerddediad hwy.* 29 *Moses yn attolwg ar Hobab nad ymadawai â hwynt.* 35 *Bendith Moses wrth symmudo a gorphwyso o'r arch.*

1490. A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses,
gan ddywedyd,
2 Gwna it' ddau udgorn arian, yn gyfan-
waith y gwnai hwynt: a byddant it' i alw'r
gynnulleidfa ynghŷd, ac i beri i'r gwer-
sylloedd gychwyn.
[a] Joel 2. 15. 3 A phan [a] ganant â hwynt, yr ymgasgl
yr holl gynnulleidfa attat, wrth ddrws pa-
bell y cyfarfod.
4 Ond os ag un y canant; yna y tywysog-
ion, *sef* pennaethiaid miloedd Israel, a ym-
gasglant.
5 Pan ganoch larwm; yna y gwersylloedd,
y rhai a wersyllant tu a'r dwyrain, a gy-
chwynant.
6 Pan ganoch larwm yr ail waith; yna
y gwersylloedd, y rhai a wersyllant tu a'r
dehau, a gychwynant: larwm a ganant
hwy wrth eu cychwyn.
7 Ac wrth alw ynghŷd y gynnulleidfa,
cenwch yr udgyrn; ond na chenwch larwm.
8 A meibion Aaron, yr offeiriaid, a ganant
ar yr udgyrn; a byddant i chwi yn ddeddf
dragywyddol trwy eich cenhedlaethau.
[b] Pen. 31. 6. 9 Hefyd [b] pan eloch i ryfel yn eich gwlad
2 Chron. 13. yn erbyn y gorthrymmwr a'ch gorthrym-
14. mo chwi; cenwch larwm mewn udgyrn:
yna y cofeir chwi ger bron yr ARGLWYDD
eich Duw, ac yr achubir chwi rhag eich
gelynion.
[c] Pen. 29. 1. 10 Ar [c] ddydd eich llawenydd hefyd, ac
1 Chron. 15. ar eich gwyliau gosodedig, ac ar ddechreu
24. eich misoedd, y cenwch ar yr udgyrn uwch
2 Chron. 5. ben eich offrymmau poeth, ac uwch ben
12. a 7. 6. eich aberthau hedd: a byddant i chwi yn
a 29. 26. goffadwriaeth ger bron eich Duw: myfi
Ezra 3. 10. *yw* yr ARGLWYDD eich Duw.
Neh. 12. 35. Psal. 81. 3. 11 ¶ A bu yn yr ail flwyddyn, ar yr ail
mis, ar yr ugeinfed *dydd* o'r mis, gyfodi o'r
cwmmwl oddi ar dabernacl y dystiolaeth.
[d] Pen. 2. 9, 12 A meibion Israel [d] a gychwynasant
16, 24, 31. i'w taith o anialwch Sinai; a'r cwmmwl a
arhosodd yn anialwch Paran.
13 Felly y cychwynasant y waith gyntaf,
wrth air yr ARGLWYDD trwy law Moses.
[e] Pen. 2. 3. 14 ¶ [e] Ac yn gyntaf y cychwynodd llum-
man gwersyll meibion Judah yn ol eu llu-
[f] Pen. 1. 7. oedd: ac ar ei lu ef *yr ydoedd* [f] Nahson mab
Amminadab.
15 Ac ar lu llwyth meibion Issachar, Ne-
thaneel mab Suar.
16 Ac ar lu llwyth meibion Zabulon,
Eliab mab Helon.
[g] Pen. 1. 17 Yna [g] y tynnwyd i lawr y tabernacl;
51. a meibion Gerson a meibion Merari a gy-
[h] Pen. 4. chwynasant, [h] gan ddwyn y tabernacl.
24. 31. 18 ¶ Yna [i] y cychwynodd llumman
[i] Pen. 20. gwersyll Reuben yn ol ei lluoedd: ac *yr*
10. *ydoedd* ar ei lu ef Elisur mab Sedëur.
19 Ac ar lu llwyth meibion Simeon, Se-
lumiel mab Surisadai.
[k] Pen. 4. 20 Ac ar lu llwyth meibion Gad, Eliasaph
4. a 7. 9. mab Deuel.
† Sef, *y Gersoniaid a'r Merariaid.* 21 A'r Cohathiaid a gychwynasant, gan
ddwyn [k] y cyssegr; *a'r* † *lleill* a godent y ta-
bernacl, tra fyddent hwy yn dyfod.
Ad. 17. 22 ¶ Yna [l] llumman gwersyll meibion
[l] Pen. 2. 18. Ephraim a gychwynodd yn ol eu lluoedd:
ac *yr oedd* ar ei lu ef Elisama mab Ammi-
hud.
23 Ac ar lu llwyth meibion Manasseh,
Gamaliel mab Pedasur.
24 Ac ar lu llwyth meibion Benjamin,
Abidan mab Gideoni.
25 ¶ Yna [m] llumman gwersyll meibion [m] Pen. 2.
Dan, yn olaf o'r holl wersylloedd, a gy- 25.
chwynodd yn ol eu lluoedd: ac *yr ydoedd*
ar ei lu ef Ahïezer mab Ammisadai.
26 Ac ar lu llwyth meibion Aser, Pagiel
mab Ocran.
27 Ac ar lu llwyth meibion Naphtali,
Ahira mab Enan.
28 Dyma gychwyniadau meibion Israel
yn ol eu lluoedd, pan gychwynasent.
29 ¶ A dywedodd Moses wrth Hobab,
mab Raguel y Midianiad, chwegrwn Mo-
ses, Myned yr ydym i'r lle am yr hwn
y dywedodd yr ARGLWYDD, Rhoddaf
hwnnw i chwi: tyred gyd â ni, a [n] gwnawn [n] Barn. 1.
ddaioni it'; canys llefarodd yr ARGLWYDD 16.
ddaioni am Israel.
30 Dywedodd yntau wrtho, Nid af ddim;
onid i'm gwlad fy hun, ac at fy nghenedl fy
hun, yr af.
31 Ac efe a ddywedodd, Na ad ni, at-
tolwg; canys ti a adwaenost ein gwersyll-
faoedd yn yr anialwch, ac a fyddi yn lle
llygaid i ni.
32 A phan ddelych gyd â ni, a dyfod o'r
daioni hwnnw yr hwn a wna'r AR-
GLWYDD i ni, ninnau a wnawn ddaioni
i tithau.
33 ¶ A hwy a aethant oddi wrth [o] fynydd [o] Edrych
yr ARGLWYDD daith tri diwrnod: ac Exod. 3. 1.
arch cyfammod yr ARGLWYDD oedd yn
myned o'u blaen hwynt daith tri diwrnod,
[p] i chwilio am orphwysfa iddynt. [p] Deut. 1.
34 A [q] chwmmwl yr ARGLWYDD *oedd* 33.
arnynt y dydd, pan elent o'r gwersyll. Jer. 31. 2. Ezec. 20. 6.
35 A hefyd pan gychwynai'r arch, Mo- [q] Exod. 13.
ses a ddywedai, [r] Cyfod, ARGLWYDD, a 21.
gwasgarer dy elynion; a ffoed dy gaseion [r] Psal. 68.
o'th flaen. 1, 2. a 132. 8.
36 A phan orphwysai hi, y dywedai efe,
Dychwel, ARGLWYDD, at ‡ fyrddiwn mil- ‡ *ddengmil o filoedd.*
oedd Israel.

## PEN. XI.

1 *Y llosgiad yn Taberah yn diffoddi trwy* Llun y
*weddi Moses.* 4 *Y bobl yn blysio cig, ac yn* Sulgwyn,
*galaru ar y manna.* 10 *Moses yn cwyno o* P. gw. 16.
*ran ei siars.* 16 *Duw yn rhannu ei faich ef* hyd w. 30.
*rhwng deg a thrugain o henuriaid.* 31 *Duw* Chwefr.
*yn rhoddi soflieir yn ei ddigllonedd yn Cib-* 13. B.
*roth-Hattaavah.*

[a] A'R bobl, fel tuchanwŷr, oeddynt flin 1490.
ynghlustiau'r ARGLWYDD: a chlyw- [a] Deut. 9.
odd yr ARGLWYDD *hyn*; a'i ddig a ennyn- 22.
odd; a thân yr ARGLWYDD a gynneuodd
[b] yn eu mysg hwynt, ac a ysodd gwrr y [b] Psal. 78.
gwersyll. 21.
2 A llefodd y bobl ar Moses: a gweddïodd
Moses ar yr ARGLWYDD; a'r tân a † ddi- † Heb. *suddodd.*
ffoddodd.
3 Ac efe a alwodd enw'r lle hwnnw, ‡ Sef,
‡ Taberah: am gynneu o dân yr AR- *Llosgiad.*
GLWYDD yn eu mysg hwy. [c] Fel
4 ¶ A'r [c] lliaws cymmysg yr hwn *ydoedd* Exod. 12. 38.
yn eu mysg a flysiasant § yn ddirfawr: a § Heb. *flys.*
meibion Israel hefyd a ddychwelasant, ac a [d] Psal. 78.
wylasant, ac a ddywedasant, [d] Pwy a rydd 18. a 106.
i ni gig i'w fwytta? 14. 1 Chron. 10.
5 [e] Cof yw gennym y pysgod yr oeddym 6.
yn ei fwytta yn yr Aipht yn rhad, y cucumer- [e] Exod. 16. 3.

au, a'r pompionau, a'r cennin, a'r winwyn,
a'r garlleg:
6 Ond yr awr hon y mae ein heneidiau
ni yn gwywo, heb ddim ond y manna yn
ein golwg.
[f] Exod. 16. 14, 31. 7 [f] A'r manna hwnnw *oedd* fel had cori-
† Heb. *llygad fel llygad.* ander, a'i † liw fel lliw ‡ bdèliwm.
8 Y bobl a aethant o amgylch, ac a'*i* casgl-
‡ Gen. 2. 12. asant ac a'*i* malasant mewn melinau, neu
a'i curasant mewn morter, ac a'*i* berwasant
mewn peiriau, ac a'i gwnaethant yn deisen-
au: a'i flas ydoedd fel blas olew ir.
9 A phan ddisgynai 'r gwlith y nos ar y
gwersyll, disgynai 'r manna arno ef.
10 ¶ A chlybu Moses y bobl yn wylo trwy
eu tylwythau, bob un yn nrws ei babell: ac
[g] Psal. 78. 21. ennynodd [g] dig yr ARGLWYDD yn fawr; a
drwg oedd gan Moses.
11 Dywedodd Moses hefyd wrth yr AR-
GLWYDD, Pa ham y drygaist dy was? a
pha ham na chawn ffafr yn dy olwg, gan
it' roddi baich yr holl bobl hyn arnaf?
12 Ai myfi a feichiogais ar yr holl bobl
hyn? ai myfi a'u cenhedlais, fel y dywedech
wrthyf, Dwg hwynt yn dy fynwes (megis
y dwg tadmaeth y plentyn sugno) i'r tir a
addewaist trwy lw i'w tadau?
13 O ba le *y byddai* gennyf fi gig i'w roddi
i'r holl bobl hyn? canys wylo y maent wrth-
yf, gan ddywedyd, Dod i ni gig i'w fwytta.
[h] Exod. 18. 18. 14 [h] Ni allaf fi fy hunan arwain yr holl
bobl hyn; canys rhy drwm *ydyw* i mi.
[i] Edrych 1 Bren. 19. 4. Ioan 4. 3. 15 Ac os felly y gwnai i mi, attolwg, [i] gan
ladd lladd fi, os cefais ffafr yn dy olwg di;
fel na welwyf fy nrygfyd.
16 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
[k] Edrych Exod. 4. 9. Moses, Casgl i mi [k] ddengwr a thrugain o
henuriaid Israel, y rhai a wyddost eu bod
yn henuriaid y bobl, ac yn swyddogion ar-
nynt; a dwg hwynt i babell y cyfarfod, a
safant yno gyd â thi.
17 Canys disgynaf, a llefaraf wrthyt yno:
[l] Neh. 9. 20. a [l] mi a gymmeraf o'r yspryd *sydd* arnat ti,
ac a'i gosodaf arnynt hwy; felly y dygant
gyd â thi faich y bobl, fel na ddygech di *ef*
yn unig.
18 Am hynny dywed wrth y bobl, Ym-
sancteiddiwch erbyn y foru, a chewch fwyt-
ta cig: canys wylasoch ynghlustiau 'r AR-
GLWYDD, gan ddywedyd, Pwy a ddyry i
ni gig i'w fwytta? canys *yr ydoedd* yn dda
arnom yn yr Aipht: am hynny y rhydd yr
ARGLWYDD i chwi gig, a chwi a fwyttêwch.
19 Nid un dydd y bwyttêwch, ac nid dau,
ac nid pump o ddyddiau, ac nid deg diwr-
nod, ac nid ugain diwrnod;
20 *Ond* hyd fis o ddyddiau, hyd oni ddel
allan o'ch ffroenau, a'i fod yn ffiaidd gen-
nych: am i chwi ddirmygu 'r ARGLWYDD
yr hwn *sydd* yn eich plith, ac wylo o honoch
[m] Pen. 21. 5. yn ei wydd ef, gan ddywedyd, [m] Pa ham y
daethom allan o'r Aipht?
[n] Exod. 12. 37. a 38. 26. Pen. 1. 46. 21 A dywedodd Moses, [n] Chwe chan mil
o wŷr traed *yw* 'r bobl *yr ydwyf* fi yn eu
plith; a thi a ddywedi, Rhoddaf gig iddynt
i'w fwytta fis o ddyddiau.
[o] Edrych Ioan 6. 7. 22 [o] Ai'r defaid a'r gwartheg a leddir
iddynt, fel y byddo digon iddynt? ai holl
bysg y môr a gesglir ynghŷd iddynt, fel y
byddo digon iddynt?
23 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
[p] Esay 50. 2. a 59. 1. Moses, [p] A gwttogwyd llaw'r ARGLWYDD?
yr awr hon y cai di weled a ddigwydd fy
ngair it', ai na *ddigwydd*.
24 ¶ A Moses a aeth allan ac a draethodd
eiriau'r ARGLWYDD wrth y bobl, ac a gasgl-
odd y dengŵr a thrugain o henuriaid y bobl,
ac a'u gosododd hwynt o amgylch y babell.
25 Yna y disgynodd yr ARGLWYDD mewn
cwmmwl, ac a lefarodd wrtho; ac a gym-
merodd o'r yspryd *oedd* arno, ac a'i rhoddes
i'r deg henafgwŷr a thrugain. A [q] thra y [q] Edrych 2 Bren. 2. 15.
gorphwysai 'r yspryd arnynt, [r] y prophwyd-
ent, § ac ychwaneg ni wnaent. [r] Edrych 1 Sam. 10. 5, 10.
26 A dau o'r gwŷr a drigasant yn y gwer-
syll (enw un *ydoedd* Eldad, ac enw'r llall
Medad) a gorphwysodd yr yspryd arnynt § *ac ni pheidient.*
hwy, am eu bod hwy o'r rhai a 'sgrifenasid;
[s] ond nid aethant i'r babell, etto prophwyd- [s] Edrych 1 Sam. 20. 26.
asant yn y gwersyll.
27 A rhedodd llangc, a mynegodd i Mo- Jer. 36. 5.
ses, ac a ddywedodd, Y mae Eldad a Medad
yn prophwydo yn y gwersyll.
28 A Josua mab Nun, gweinidog Moses
o'i ieuengctid, a attebodd ac a ddywedodd,
[t] Moses fy arglwydd, gwahardd iddynt. [t] Edrych Luc 9. 49. Ioan 3. 26.
29 A dywedodd Moses wrtho, Ai cynfi-
gennu yr ydwyt ti drosof fi? [u] O na byddai [u] 1 Chron.
holl bobl yr ARGLWYDD yn brophwydi, *a* 14. 1.
rhoddi o'r ARGLWYDD ei yspryd arnynt!
30 A Moses a aeth i'r gwersyll, efe a hen-
uriaid Israel.
31 ¶ Ac fe aeth [x] gwynt oddi wrth yr AR- [x] Exod. 16. 13.
GLWYDD, ac a ddug soflieir oddi wrth y Psal. 78. 26.
môr, ac a'u taenodd wrth y gwersyll, megis a 105. 40.
|| taith diwrnod ar y naill du, a thaith diwr- || Heb. *fordd.*
nod ar y tu arall, o amgylch y gwersyll, a *hyn-
ny* ynghylch dau gufydd, ar wyneb y ddaear.
32 Yna y cododd y bobl y dydd hwnnw
oll, a'r nos oll, a'r holl ddydd drannoeth, ac
a gasglasant y soflieir: yr hwn a gasglodd
leiaf, a gasglodd ddeg omer: a chan daenu
y taenasant *hwynt* iddynt eu hunain o am-
gylch y gwersyll.
33 A'r [y] cig *oedd* etto rhwng eu dannedd [y] Psal. 78. 30, 31.
hwynt heb ei gnoi, pan ennynodd digo-
faint yr ARGLWYDD yn erbyn y bobl; a'r
ARGLWYDD a darawodd y bobl â phla
mawr iawn.
34 Ac efe a alwodd enw'r lle hwnnw † Ci- † Sef, *Beddau'r blys.*
broth-Hattaafah; am iddynt gladdu yno y
bobl a flysiasent.
35 [z] O Feddau 'r blys yr aeth y bobl i Ha- [z] Pen. 33. 17.
seroth: ac ‡ arhosasant yn Haseroth. ‡ Heb. *yr oeddynt.*

## PEN. XII.

1 *Duw yn ceryddu cynnen Miriam ac Aaron:* Chwefr. 13. P.
10 *ac yn iachâu gwahan-glwyf Miriam,*
*ar weddi Moses.* 14 *Duw yn gorchymyn ei*
*chau hi allan o'r gwersyll.*

LLEFARODD Miriam hefyd ac Aaron yn 1490.
erbyn Moses, o achos y wraig o † Ethi- † Cus.
opia yr hon a ‡ briodasai efe: canys [a] efe a ‡ Heb. *gymmerasai.*
gymmerasai Ethiopes yn wraig.
2 A dywedasant, Ai yn unig trwy Moses [a] Exod. 2. 21.
y llefarodd yr ARGLWYDD? [b] oni lefarodd
efe trwom ninnau hefyd? A'r ARGLWYDD [b] Exod. 15. 20.
a glybu *hynny*. Mic. 6. 4.
3 A'r gwr Moses *ydoedd* [c] larieiddiaf o'r [c] Eccles. 45. 4.
holl ddynion *oedd* ar wyneb y ddaear.
4 A dywedodd yr ARGLWYDD yn ddis-
ymmwth wrth Moses, ac wrth Aaron, ac
wrth Miriam, Deuwch allan eich trïoedd i
babell y cyfarfod. A hwy a aethant allan
ill trïoedd.
5 Yna y disgynodd yr ARGLWYDD yng-
holofn y cwmmwl, ac a safodd *wrth* ddrws
y babell, ac a alwodd Aaron a Miriam. A
hwy a aethant allan ill dau. [d] Gen. 15. 1. a 46. 2.
6 Ac efe a ddywedodd, Gwrandêwch yr Ezec. 1. 1.
awr hon fy ngeiriau. Os bydd prophwyd yr Dan. 8. 2. a 10. 8, 16, 17.
ARGLWYDD yn eich mysg, [d] mewn gwel-

e Gen. 31. edigaeth yr ymhyspysaf iddo, *neu* e mewn
10, 11. breuddwyd y llefaraf wrtho.
1 Bren. 3. 7 Nid felly *y mae* fy ngwas Moses, f yr
5. hwn *sydd* ffyddlon yn fy holl dŷ.
f Heb. 3. 2. 8 g Wyneb yn wyneb y llefaraf wrtho,
g Exod. 33. 11. *mewn* gwelediad, nid mewn damhegion;
Deut. 34. 10. ond caiff edrych ar wedd yr ARGLWYDD:
pa ham gan hynny nad oeddych yn ofni
dywedyd yn erbyn fy ngwas, *sef* yn erbyn
Moses?
9 A digofaint yr ARGLWYDD a ennynodd
yn eu herbyn hwynt; ac efe a aeth ymaith.
10 A'r cwmmwl a ymadawodd oddi ar y
h Deut. 24. babell: ac h wele, Miriam *ydoedd* i wahan-
9. glwyfus, fel yr eira. Ac edrychodd Aaron
i 2 Bren. ar Miriam; ac wele *hi* yn wahan-glwyfus.
5. 27. 11 Yna y dywedodd Aaron wrth Moses,
O fy arglwydd, attolwg, na osod yn ein her-
byn y pechod yr hwn yn ynfyd a wnaeth-
om, *a thrwy* yr hwn y pechasom.
12 Na fydded hi, *attolwg*, fel un marw,
yr hwn y bydd hanner ei gnawd wedi ei
ddifa pan ddel allan o groth ei fam.
13 A Moses a waeddodd ar yr AR-
GLWYDD, gan ddywedyd, O DDUW, at-
tolwg, meddyginiaetha hi 'r awr hon.
14 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
k Edrych Moses, k Os ei thad a boerai yn ei hwyneb,
Heb. 12. 9. oni chywilyddiai hi saith niwrnod? l cauer
l Lef. 13. arni saith niwrnod o'r tu allan i 'r gwersyll,
46. ac wedi hynny derbynier hi.
15 A chauwyd ar Miriam o'r tu allan i 'r
gwersyll saith niwrnod: a'r bobl ni chy-
chwynodd hyd oni ddaeth Miriam i mewn
*drachefn*.
m Pen. 11. 16 Ac wedi hynny yr aeth y bobl o m Ha-
35. a 33. 18. seroth, ac a wersyllasant yn anialwch Paran.

## PEN. XIII.

Chwefr. 1 *Enwau'r gwŷr a ddanfonwyd i chwilio'r*
14. B. *wlad: 17 eu haddysg: 21 eu gweithred-*
*oedd: 26 eu newyddion.*

1490. A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses,
gan ddywedyd,
a Pen. 32. 8. 2 a Anfon it' wŷr i edrych tir Canaan, yr
Deut. 1. 22. hwn yr ydwyf fi yn ei roddi i feibion Israel:
gwr dros bob un o lwythau eu tadau a anfon-
wch; pob un yn bennaeth yn eu mysg hwynt.
3 A Moses a'u hanfonodd hwynt o anial-
wch Paran, wrth orchymyn yr ARGLWYDD:
pennaethiaid meibion Israel *oedd* y gwŷr
hynny oll.
4 A dyma eu henwau hwynt. Dros lwyth
Reuben, Sammua mab Zaccur.
5 Dros lwyth Simeon, Saphat mab Hori.
6 Dros lwyth Judah, Caleb mab Jephunneh.
7 Dros lwyth Issachar, Igal mab Joseph.
8 Dros lwyth Ephraim, Osea mab Nun.
9 Dros lwyth Benjamin, Palti mab Raphu.
10 Dros lwyth Zabulon, Gadïel mab Sodi.
11 O lwyth Joseph, dros lwyth Manasseh,
Gadi mab Susi.
12 Dros lwyth Dan, Amiel mab Gemali.
13 Dros lwyth Aser, Sethur mab Michael.
14 Dros lwyth Naphtali, Nabhi mab Fophsi.
15 Dros lwyth Gad, Geuel mab Maci.
16 Dyma enwau 'r gwŷr a anfonodd Mo-
ses i edrych ansodd y wlad. A Moses a enw-
odd Osea fab Nun, Josua.
17 ¶ A Moses a'u hanfonodd hwynt i
edrych ansawdd gwlad Canaan; ac a ddy-
wedodd wrthynt, Ewch yma tu a'r dehau, a
dringwch i 'r mynydd.
18 Ac edrychwch y wlad beth *yw* hi, a'r
bobl sydd yn trigo ynddi, pa un ai cryf ai
gwan, ai ychydig ai llawer ydynt;
19 A pheth *yw*'r tir y maent yn trigo yn-
ddo, ai da ai drwg; ac ym mha ddinasoedd
y maent yn preswylio, ai mewn pebyll, ai
mewn amddiffynfeydd;
20 A pha dir, ai bras *yw* efe ai cul: a oes
coed ynddo, ai nad *oes*. Ac ymwrolwch, a
dygwch o ffrwyth y tir. A'r dyddiau *oedd-*
*ynt* ddyddiau blaen-ffrwyth grawnwin.
21 ¶ A hwy a aethant i fynu, ac a chwi-
liasant y tir, o anialwch Sin hyd Rehob,
ffordd y deuir i Hamath.
22 Ac a aethant i fynu i'r dehau, ac a
ddaethant hyd Hebron: ac yno *yr oedd*
b Ahiman, Sesai, a Thalmai, meibion Anac: b Jos. 11.
a Hebron a adeiladasid saith mlynedd o 21, 22. a 15.
flaen Soan yn yr Aipht. 13.
23 c A daethant hyd † ddyffryn ‡ Escol; Barn. 1. 10.
a thorrasant oddi yno gangen ag un swp o c Deut. 1.
rawnwin, ac a'i dygasant ar drosol rhwng 24.
dau: *dygasant rai* o'r pomgranadau hefyd, † *afon.*
ac o'r ffigys. ‡ *Sef, Grawnswp.*
24 A'r lle hwnnw a alwasant Dyffryn
Escol; o achos y swp grawnwin a dorrodd
meibion Israel oddi yno.
25 A hwy a ddychwelasant o chwilio'r
wlad ar ol deugain niwrnod.
26 ¶ A myned a wnaethant, a dyfod at
Moses ac at Aaron, ac at holl gynnulleidfa
meibion Israel, i d Cades, yn anialwch Pa- d Pen. 20.
ran; a dygasant yn eu hol air iddynt, ac i 'r 1, 16. a 32.
holl gynnulleidfa, ac a ddangosasant iddynt 8. a 33. 36.
ffrwyth y tir. Deut. 1. 19. Jos. 14. 6.
27 A mynegasant iddo, a dywedasant,
Daethom i'r tir lle 'r anfonaist ni; ac yn
ddïau llifeirio y mae o e laeth a mel: a e Exod. 3.
dyma ei ffrwyth ef. 8. a 33. 3.
28 Ond *y mae* f 'r bobl sydd yn trigo yn f Deut. 2.
y tir yn gryfion, a'r g dinasoedd yn gaerog 10, 21.
*ac* yn fawrion iawn; a gwelsom yno hefyd g Deut. 1.
feibion Anac. 28.
29 Yr Amaleciaid sydd yn trigo yn nhir
y dehau; a'r Hethiaid a'r Jebusiaid, a'r
Amoriaid, yn gwladychu yn y mynydd-dir;
a'r Canaaneaid yn preswylio wrth y môr,
a cher llaw 'r Iorddonen.
30 A gostegodd h Caleb y bobl ger bron h Edrych
Moses, ac a ddywedodd, Gan fyned awn i Pen. 14. 6,
fynu, a pherchenogwn hi: canys gan orch- 30.
fygu y gorchfygwn hi.
31 Ond y gwŷr y rhai a aethant i fynu gyd
ag ef a ddywedasant, Ni allwn ni fyned i
fynu yn erbyn y bobl; canys cryfach *ydynt*
nâ nyni.
32 A rhoddasant allan anglod am y tir a
chwiliasent, wrth feibion Israel, gan ddy-
wedyd, Y tir yr aethom drosto i 'w chwilio,
tir yn difa ei breswylwŷr yw efe; i a'r holl i Amos 2. 9.
bobl a welsom ynddo *ydynt* wŷr § corphol: § *mawr eu*
33 Ac yno y gwelsom y cawri, meibion *maint.*
Anac, *y rhai a ddaethant* o'r cawri; ac yr
oeddem yn ein golwg ein hunain fel ceiliog-
od rhedyn, ac felly yr oeddem yn eu golwg
hwythau.

## PEN. XIV.

1 *Y bobl yn tuchan o ran y newyddion. 6 Jo-* Chwefr.
*sua a Chaleb yn ceisio eu llonyddu hwynt.* 14. P.
*11 Duw yn eu bygwth. 13 Moses yn ymbil â*
*Duw; ac yn caffael iddynt hwy faddeuant.*
*26 Y tuchanwŷr heb gael myned i'r wlad.*
*36 Y gwŷr a roisant anglod i'r tir, yn marw*
*o'r pla. 40 Y bobl a fynnai osod ar y wlad*
*yn erbyn ewyllys Duw, yn cael eu taro.*

YNA yr holl gynnulleidfa a ddyrchafodd 1490.
ei llef, ac a waeddodd, a'r bobl a wyl-
asant y nos honno.

2 A holl feibion Israel a duchanasant yn
erbyn Moses, ac yn erbyn Aaron: a'r holl
gynnulleidfa a ddywedasant wrthynt, O na
[a] Edrych ad. 28. 29. buasem feirw yn nhir yr Aipht! neu, [a] O
na buasem feirw yn y diffaethwch hwn!
3 A pha ham y mae'r ARGLWYDD yn
ein dwyn ni i'r tir hwn, i gwympo ar y
cleddyf? ein gwragedd a'n plant fyddant
yn yspail. Onid gwell i ni ddychwelyd i'r
Aipht?
4 A dywedasant bawb wrth eu gilydd,
[b] Edrych Deut. 17. 16. Gosodwn ben *arnom*, a [b] dychwelwn i'r
Aipht.
[c] Pen. 16. 4. 5 [c] Yna y syrthiodd Moses ac Aaron ar eu
hwynebau ger bron holl gynnulleidfa tyrfa
meibion Israel.
6 ¶ Josua hefyd mab Nun, a Chaleb mab
Jephunneh, *dau* o ysbïwŷr y tir, a rwygas-
ant eu dillad;
7 Ac a ddywedasant wrth holl dorf meib-
ion Israel, gan ddywedyd, Y tir yr aethom
drosto, i'w chwilio, *sydd* dir da odiaeth.
8 Os yr ARGLWYDD sydd foddlon i ni,
efe a'n dwg ni i'r tir hwn, ac a'i rhydd i ni;
*sef* y tir sydd yn llifeirio o laeth a mel.
9 Yn unig na wrthryfelwch yn erbyn yr
[d] Deut. 20. 3. ARGLWYDD, ac [d] nac ofnwch bobl y tir;
canys bara i ni ydynt: ciliodd eu † hymddi-
† Heb. *cysgod.* ffyn oddi wrthynt, a'r ARGLWYDD *sydd*
gyd â ni: nac ofnwch hwynt.
10 A'r holl dorf a ddywedasant am eu lla-
[e] Exod. 24. 16, 17. a 40. 34. Lef. 9. 23. Pen. 16. 19, 42. a 20. 6. byddio hwynt â meini. A [e] gogoniant yr
ARGLWYDD a ymddangosodd ym mhabell
y cyfarfod i holl feibion Israel.
11 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, Pa hyd y digia'r bobl yma fi? a pha
hyd y byddant heb gredu i mi, am yr holl
arwyddion a wneuthum yn eu plith?
12 Tarawaf hwynt â haint, a gwasgaraf
[f] Exod. 32. 10. hwy, a [f] gwnaf di yn genhedlaeth fwy, a
chryfach nâ hwynt-hwy.
[g] Exod. 32. 12. Deut. 32. 27. 13 ¶ [g] A dywedodd Moses wrth yr AR-
GLWYDD, Felly yr Aiphtiaid a glyw (canys
o'u mysg hwynt y dygaist y bobl yma i fynu
yn dy nerth)
14 Ac a ddywedant i breswylwŷr y tir
[h] Exod. 15. 14. Jos. 2. 9. a 5. 1. hwn ([h] canys clywsant dy fod di, AR-
GLWYDD, ym mysg y bobl yma, a'th fod di,
ARGLWYDD, yn ymddangos *iddynt* wyneb
[i] Exod. 13. 21. a 40. 38. yn wyneb, a bod [i] dy gwmmwl di yn aros
arnynt, a'th fod di yn myned o'u blaen
hwynt mewn colofn o gwmmwl y dydd, ac
mewn colofn dân y nos)
15 Os lleddi'r bobl yma fel un gwr; yna
y dywed y cenhedloedd y rhai a glywsant
son am danat, gan ddywedyd,
[k] Deut. 9. 28. 16 [k] O eisiau gallu o'r ARGLWYDD
ddwyn y bobl yma i'r tir y tyngodd efe
iddynt, am hynny y lladdodd efe hwynt yn
y diffaethwch.
17 Yr awr hon, gan hynny, mawrhâer,
attolwg, nerth yr ARGLWYDD, fel y llefer-
aist, gan ddywedyd,
[l] Exod. 34. 6. Psalm 103. 8. a 145. 8. Jon. 4. 2. 18 [l] Yr ARGLWYDD *sydd* hwyrfrydig i
ddig, ac aml o drugaredd, yn maddeu an-
wiredd a chamwedd, a chan gyfiawnhâu ni
chyfiawnhâ efe *yr euog*; [m] ymweled y mae
[m] Exod. 20. 5. a 34. 7. ag anwiredd y tadau ar y plant, hyd y dry-
dedd a'r bedwaredd *genhedlaeth.*
19 Maddeu, attolwg, anwiredd y bobl
yma, yn ol dy fawr drugaredd, ac megis y
‡ *yr awr hon.* maddeuaist i'r bobl hyn, o'r Aipht, hyd ‡ yma.
20 A dywedodd yr ARGLWYDD, Ma-
ddeuais, yn ol dy air:
21 Ond os byw fi, yr holl dir a lenwir o
ogoniant yr ARGLWYDD.

22 [n] Canys yr holl ddynion y rhai a wel- [n] Deut. 1.
sant fy ngogoniant, a'm harwyddion a wneu- 35. Psalm 95.
thum yn yr Aipht, ac yn y diffaethwch, ac 11. a 106.
a'm temtiasant y dengwaith hyn, ac ni 26.
wrandawsant ar fy llais, Heb. 3. 17.
23 § Ni welant y tir y tyngais wrth eu § Heb. *Os*
tadau hwynt; *sef* y rhai oll a'm digiasant, *gwelant.* Pen. 32. 11.
ni's gwelant ef:
24 Ond fy ngwas [o] Caleb, am fod yspryd [o] Jos. 14.
arall gyd ag ef, ac [p] iddo fy nghyflawn- 8, 9, 14.
ddilyn, dygaf ef i'r tir y daeth iddo: a'i had [p] Pen. 32.
a'i hetifedda ef. 12.
25 (Ond y mae'r Amaleciaid a'r Canaan-
eaid yn trigo yn y dyffryn) y foru trowch,
ac ewch i'r diffaethwch, *ar hyd* ffordd y môr
coch.
26 ¶ A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth
Moses, ac wrth Aaron, gan ddywedyd,
27 Pa hyd *y cyd-ddygaf* â'r gynnulleidfa
ddrygionus hon sydd yn tuchan i'm her-
byn? clywais duchan meibion Israel, y rhai
sydd yn tuchan i'm herbyn.
28 Dywed wrthynt, [q] *Fel mai* byw fi, [q] Pen. 26.
medd yr ARGLWYDD, [r] fel y llefarasoch yn 65. a 32. 11. Deut. 1. 35.
fy nghlustiau, felly y gwnaf i chwi. Heb. 3. 17.
29 Yn y diffaethwch hwn y cwymp eich [r] Edrych
celaneddau; a'ch holl rifedigion trwy eich ad. 2.
holl rif, o fab ugain mlwydd ac uchod, y
rhai a duchanasoch yn fy erbyn,
30 Dïau ni ddeuwch chwi i'r tir *am* yr
hwn y ‖ codais fy llaw, am wneuthur i chwi ‖ *tyngais.*
breswylio ynddo, ond Caleb mab Jephunneh,
a Josua mab Nun.
31 Ond eich plant chwi, y rhai y dywed-
asoch y byddent yn yspail, hwynt-hwy a
ddygaf i'r *wlad*, a hwy a gânt adnabod y
tir a ddirmygasoch chwi.
32 A'ch celaneddau chwi a gwympant yn
y diffaethwch hwn.
33 A'ch plant chwi a † fugeilia yn y di- † *gwy-*
ffaethwch [s] ddeugain mlynedd, ac a ddygant *dra,* neu,
*gosp* eich putteindra chwi, nes darfod eich *ymbortha.* [s] Edrych
celaneddau chwi yn y diffaethwch. Deut. 2. 14.
34 [t] Yn ol rhifedi'r dyddiau y chwilias- [t] Pen. 13.
och y tir, *sef* [u] deugain niwrnod (pob diwr- 25.
nod am flwyddyn) y dygwch eich hanwir- [u] Psalm 95.
eddau, *sef* deugain mlynedd; a chewch 10.
wybod ‡ torriad fy ngair i. Ezec. 4. 6.
35 Myfi yr ARGLWYDD a leferais, dïau ‡ Neu, *newidiad*
y gwnaf hyn i'r holl gynnulleidfa ddrygi- *fy amcan.*
onus yma, sydd wedi ymgynnull i'm her-
byn i: yn y diffaethwch hwn y darfyddant,
ac yno y byddant feirw.
36 A'r dynion a anfonodd Moses i chwi-
lio'r tir, y rhai a ddychwelasant, ac a
wnaethant i'r holl dorf duchan yn ei erbyn
ef, gan roddi allan anair am y tir;
37 Y dynion *(meddaf)* y rhai a roddas-
ant allan anair drwg i'r tir, [x] a fuant feirw [x] 2 Cor. 10.
o'r pla, ger bron yr ARGLWYDD. 10.
38 Ond Josua mab Nun, a Chaleb mab Heb. 3. 17 Jud. 5.
Jephunneh, a fuant fyw o'r gwŷr hyn a
aethant i chwilio'r tir.
39 A Moses a lefarodd y geiriau hyn wrth
holl feibion Israel: a'r bobl a alarodd yn
ddirfawr.
40 ¶ A chodasant yn fore i fyned i ben y
mynydd, gan ddywedyd, Wele [y] ni, a ni a [y] Deut. 1.
awn i fynu i'r lle *am* yr hwn y dywedodd yr 41.
ARGLWYDD: canys ni a bechasom.
41 A dywedodd Moses, Pa ham yr ydych
fel hyn yn troseddu [z] gair yr ARGLWYDD? [z] Ad. 25.
a hyn ni lwydda.
42 Nac ewch i fynu; canys nid *yw'r*
ARGLWYDD yn eich plith: rhag eich taro
o flaen eich gelynion.

43 Canys yr Amaleciaid a'r Canaaneaid *ydynt* yno o'ch blaen chwi, a chwi a syrthiwch ar y cleddyf: canys am i chwi ddychwelyd oddi ar ol yr ARGLWYDD, ni bydd yr ARGLWYDD gyd â chwi.

44 Etto rhyfygasant fyned i ben y mynydd: ond arch cyfammod yr ARGLWYDD a Moses ni symmudasant o ganol y gwersyll.

[a] Deut. 1. 44. [b] Edrych Pen. 21. 3. Barn. 1. 17.

45 Yna y disgynodd yr Amaleciaid a'r Canaaneaid, y rhai oedd yn preswylio yn y mynydd hwnnw, ac a'u tarawsant, ac [a] a'u difethasant hyd [b] Hormah.

## PEN. XV.

*1 Cyfraith y bwyd-offrwm a'r ddïod-offrwm. 13, 29 Bod y dïeithrddyn dan yr un gyfraith. 17 Cyfraith blaenion toes yn offrwm dyrchafael. 22 Yr aberth am bechod o anwybod. 30 Cospedigaeth rhyfyg. 32 Llabyddio'r hwn a dorrodd y Sabboth. 37 Cyfraith y rhidens.*

1490. A'R ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, gan ddywedyd,

[a] Lef. 23. 10.

2 [a] Llefara wrth feibion Israel, a dywed wrthynt, Pan ddeloch i dir eich preswylfod, yr hwn yr ydwyf fi yn ei roddi i chwi,

[b] Lef. 7. 16. a 22. 18, 21. † Heb. neillduo. [c] Lef. 23. 8, 12, 36. Pen. 28. 16, 27. a 29. 2, 8, 13. Deut. 16. 10. [d] Exod. 29. 18.

3 Ac offrymmu o honoch aberth tanllyd i'r ARGLWYDD, offrwm poeth, neu aberth [b] wrth † dalu adduned, neu mewn offrwm gwirfodd, neu [c] ar eich gwyliau gosodedig, gan wneuthur [d] arogl peraidd i'r ARGLWYDD, o'r eidionau, neu o'r praidd:

4 Yna [e] offrymmed yr hwn a offrymmo ei rodd i'r ARGLWYDD, o beilliaid ddegfed ran, wedi ei gymmysgu trwy bedwaredd ran hìn o olew, [f] yn fwyd-offrwm.

5 Ac offrwm di gyd â'r offrwm poeth, neu'r aberth, bedwaredd ran hìn o win am bob oen, yn ddïod-offrwm.

[e] Lef. 3. 1. a 6. 14. [f] Exod. 29. 40. Lef. 23. 13.

6 A thi a offrymmi *yn* fwyd-offrwm gyd â hwrdd, o beilliaid ddwy ddegfed ran, wedi ei gymmysgu trwy drydedd *ran* hìn o olew.

7 A thrydedd *ran* hìn o win yn ddïod-offrwm, a offrymmi yn arogl peraidd i'r ARGLWYDD.

[g] Lef. 7. 11.

8 A phan ddarperych lo buwch *yn* offrwm poeth, neu *yn* aberth yn talu adduned, neu [g] aberth hedd i'r ARGLWYDD;

9 Yna offrymmed yn fwyd-offrwm gyd â llo y fuwch, o beilliaid dair degfed ran wedi ei gymmysgu trwy hanner hìn o olew.

10 Ac offrwm hanner hìn o win yn ddïod-offrwm, *yn* aberth tanllyd, o arogl peraidd i'r ARGLWYDD.

11 Felly y gwnair am bob ych, neu am bob hwrdd, neu am oen, neu am fynn.

12 Yn ol y rhifedi a ddarparoch, felly y gwnewch i *bob* un, yn ol eu rhifedi.

13 Pob prïodor a wna'r pethau hyn felly, wrth offrymmu aberth tanllyd o arogl peraidd i'r ARGLWYDD.

14 A phan ymdeithio dïeithrddyn, neu yr hwn *sydd* yn eich plith trwy eich cenhedlaethau, a darparu aberth tanllyd o arogl peraidd i'r ARGLWYDD; fel y gwneloch chwi, felly gwnaed yntau.

[h] Exod. 12. 49.

15 [h] Yr un ddeddf *fydd* i chwi o'r dyrfa, ac i'r ymdeithydd dïeithr; deddf dragywyddol *yw* trwy eich cenhedlaethau: megis yr *ydych* chwi, felly y bydd y dïeithr ger bron yr ARGLWYDD.

16 Un gyfraith, ac un ddefod, fydd i chwi, ac i'r ymdeithydd a ymdeithio gyd â chwi.

17 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

18 Llefara wrth feibion Israel, a dywed wrthynt, Pan ddeloch i'r tir yr ydwyf yn eich dwyn chwi iddo;

19 Yna pan fwyttaoch o fara'r tir, y dyrchefwch offrwm dyrchafael i'r ARGLWYDD.

20 O flaenion eich toes yr offrymmwch deisen yn offrwm dyrchafael: fel [i] offrwm dyrchafael y llawr-dyrnu, felly y dyrchefwch hithau. [i] Lef. 2. 14. a 23. 10, 16.

21 O ddechreu eich toes y rhoddwch i'r ARGLWYDD offrwm dyrchafael trwy eich cenhedlaethau.

22 ¶ A [k] phan eloch dros y ffordd, ac na wneloch yr holl orchymynion hyn, y rhai a lefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, [k] Lef. 4. 2.

23 *Sef* yr hyn oll a orchymynodd yr ARGLWYDD i chwi trwy law Moses, o'r dydd y gorchymynodd yr ARGLWYDD, ac o hynny allan, trwy eich cenhedlaethau;

24 Yna bydded, os allan o olwg y gynnulleidfa y gwnaed *dim* trwy anwybod, i'r holl gynnulleidfa ddarparu un bustach ieuangc yn offrwm poeth, i *fod* yn arogl peraidd i'r ARGLWYDD, â'i fwyd-offrwm, a'i ddïod-offrwm, wrth y ddefod, ac un bwch geifr yn bech-aberth.

25 A gwnaed yr offeiriad gymmod dros holl gynnulleidfa meibion Israel, a maddeuir iddynt; canys anwybodaeth *yw*: a dygant eu hoffrwm, aberth tanllyd i'r ARGLWYDD, a'u pech-aberth, ger bron yr ARGLWYDD, am eu hanwybodaeth.

26 A maddeuir i holl gynnulleidfa meibion Israel, ac i'r dïeithr a ymdeithio yn eu mysg; canys *digwyddodd* i'r holl bobl trwy anwybod.

27 ¶ Ond [l] os un dyn a becha trwy amryfusedd; yna offrymmed afr flwydd yn offrwm dros bechod. [l] Lef. 4. 27.

28 A gwnaed yr offeiriad gymmod dros y dyn a becho yn amryfus, pan becho trwy amryfusedd ger bron yr ARGLWYDD, gan wneuthur cymmod drosto; a maddeuir iddo.

29 Yr hwn a aned o feibion Israel, a'r dïeithr a ymdeithio yn eu mysg, un gyfraith fydd i chwi am wneuthur *pechod* trwy amryfusedd.

30 ¶ Ond y dyn a wnel bechod ‡ mewn rhyfyg, o brïodor, neu o ddïeithr; cablu'r ARGLWYDD y mae: torrer ymaith y dyn hwnnw o fysg ei bobl. ‡ Heb. *â llaw uchel.*

31 O herwydd iddo ddïystyru gair yr ARGLWYDD, a thorri ei orchymyn ef; llwyrdorrer ymaith y dyn hwnnw: ei anwiredd *fydd* arno.

32 ¶ Fel yr ydoedd meibion Israel yn y diffaethwch, cawsant wr yn cynnutta ar y dydd Sabboth.

33 A'r rhai a'i cawsant ef, a'i dygasant ef, *sef* y cynnuttwr, at Moses, ac at Aaron, ac at yr holl gynnulleidfa.

34 Ac a'i dodasant ef [m] mewn dalfa, am nad oedd hyspys beth a wnaid iddo. [m] Lef. 24. 12.

35 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, [n] Lladder y gwr yn farw: llabyddied yr holl gynnulleidfa ef â meini o'r tu allan i'r gwersyll. [n] Exod. 31. 14.

36 A'r holl gynnulleidfa a'i dygasant ef i'r tu allan i'r gwersyll, ac a'i llabyddiasant ef â meini, fel y bu efe farw; megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD wrth Moses.

37 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd, [o] Deut. 22. 12. Mat. 23. 5.

38 Llefara wrth feibion Israel, a dywed wrthynt, [o] am wneuthur iddynt § eddi ar § *ridens.*

odre eu dillad, trwy eu cenhedlaethau, a rhoddant bleth o *sidan* glas ar eddi y godre.

39 A bydded i chwi yn rhidens, i edrych arno, ac i gofio holl orchymynion yr ARGLWYDD, ac i'w gwneuthur hwynt; ac [p] na chwiliwch yn ol eich calonnau eich hunain, nac yn ol eich llygaid eich hunain, y rhai yr ydych [q] yn putteinio ar eu hol:

[p] Edrych Deut. 29. 19. Job 31. 7. Ezec. 6. 9.

40 Fel y cofioch ac y gwneloch fy holl orchymynion i, ac y byddoch sanctaidd i'ch DUW.

[q] Psal. 73. 27. Iago 4. 4.

41 Myfi *ydyw* yr ARGLWYDD eich DUW, yr hwn a'ch dygais chwi allan o dir yr Aipht, i fod i chwi yn DDUW: myfi *yw* yr ARGLWYDD eich DUW.

## PEN. XVI.

Sul 1 gwedi 'r Pasg, B. Ohwefr. 15. B.

1 *Gwrthryfel Corah, Dathan, ac Abiram. 23 Moses yn gwahanu'r bobl oddi wrth bebyll y gwrthryfelwŷr. 31 Y ddaear yn llyngcu Corah; a thân yn difa'r lleill. 36 Cadw'r thusserau er mwyn defnydd sanctaidd. 41 Lladd pedair mil ar ddeg a saith gant, am rwgnach yn erbyn Moses ac Aaron. 46 Aaron, trwy arogl-darthu, yn attal y pla.*

Cylch 1471.

YNA [a] Corah, mab Ihar, mab Cohath, mab Lefi; a Dathan ac Abiram, meibion Eliab, ac On mab Peleth, meibion Reuben, a gymmerasant *wŷr:*

[a] Pen. 26. 9. a 27. 3. Eccl. 45. 18. Jud. 11.

2 A hwy a godasant o flaen Moses, ynghŷd â dau gant a deg a deugain o wŷr *eraill* o feibion Israel, pennaethiaid y gynnulleidfa, [b] pendefigion y gymmanfa, gwŷr enwog.

[b] Pen. 26. 9.

3 Ac [c] ymgasglasant yn erbyn Moses, ac yn erbyn Aaron, ac a ddywedasant wrthynt, Gormod i chwi *hyn;* canys *y mae*'r holl gynnulleidfa yn sanctaidd bob un o honynt, ac *y mae*'r ARGLWYDD yn eu mysg: pa ham yr ymgodwch goruwch cynnulleidfa'r ARGLWYDD?

[c] Psal. 106. 16.

4 A phan glybu Moses, [d] efe a syrthiodd ar ei wyneb.

[d] Pen. 14. 5. a 20. 6.

5 Ac efe a lefarodd wrth Corah, ac wrth ei holl gynnulleidfa ef, gan ddywedyd, Y bore y dengys yr ARGLWYDD yr hwn *sydd* eiddo ef, a'r sanctaidd; a *phwy* a ddylai nesâu atto ef: canys yr hwn a ddewisodd efe, a nesâ efe atto.

6 Hyn a wnewch: Cymmerwch i chwi, *sef* Corah a'i holl gynnulleidfa, thusserau;

7 A rhoddwch ynddynt dân, a gosodwch arnynt arogl-darth y foru ger bron yr ARGLWYDD: yna bydd i'r gwr hwnnw fod yn sanctaidd, yr hwn a ddewiso'r ARGLWYDD: gormod i chwi *hyn*, meibion Lefi.

8 A dywedodd Moses wrth Corah, Gwrandêwch, attolwg, meibion Lefi.

9 *Ai* bychan gennych, neillduo o DDUW Israel chwi oddi wrth gynnulleidfa Israel, gan eich nesâu chwi atto ei hun, i wasanaethu gwasanaeth tabernacl yr ARGLWYDD, ac i sefyll ger bron y gynnulleidfa, i'w gwasanaethu hwynt?

10 Canys efe a'th nesaodd di, a'th holl frodyr, meibion Lefi, gyd â thi: ac a geisiwch chwi yr offeiriadaeth hefyd?

11 Am hynny tydi a'th holl gynnulleidfa *ydych* yn ymgynnull yn erbyn yr ARGLWYDD: ond Aaron, beth *yw* efe, i chwi i duchan yn ei erbyn?

12 ¶ A Moses a anfonodd i alw am Ddathan ac Abiram, meibion Eliab. Hwythau a ddywedasant, Ni ddeuwn ni ddim i fynu.

13 *Ai* bychan *yw* dwyn o honot ti ni i fynu o dir yn llifeirio o laeth a mel, i'n lladd ni yn y diffaethwch, oddieithr hefyd arglwyddiaethu o honot yn dost arnom ni?

14 Etto ni ddygaist ni i [e] dir yn llifeirio o laeth a mel, ac ni roddaist i ni feddiant *mewn* maes na gwinllan: a † dynni di lygaid y gwŷr hyn? ni ddeuwn ni i fynu ddim.

[e] Exod. 3. 8. Lef. 20. 24. † Heb. *dylli.*

15 Yna y digiodd Moses yn ddirfawr, ac y dywedodd wrth yr ARGLWYDD, [f] Nac edrych ar eu hoffrwm hwy: [g] ni chymmerais un asyn oddi arnynt, ac ni ddrygais un o honynt.

[f] Gen. 14. 4, 5. [g] 1 Sam. 12. 3. Act. 22. 33.

16 A dywedodd Moses wrth Corah, Bydd di a'th holl gynnulleidfa ger bron yr ARGLWYDD, ti, a hwynt, ac Aaron, y foru.

17 A chymmerwch bob un ei thusser, a rhoddwch arnynt arogl-darth; a dyged pob un ei thusser ger bron yr ARGLWYDD, *sef* dau gant a deg a deugain o thusserau: *dwg* dithau hefyd, ac Aaron, bob un ei thusser.

18 A chymmerasant bob un ei thusser, a rhoddasant dân ynddynt, a gosodasant arogl-darth arnynt; a safasant *wrth* ddrws pabell y cyfarfod, ynghŷd â Moses ac Aaron.

19 Yna Corah a gasglodd yr holl gynnulleidfa yn eu herbyn hwynt, i ddrws pabell y cyfarfod: a [h] gogoniant yr ARGLWYDD a ymddangosodd i'r holl gynnulleidfa.

[h] Exod. 16. 7, 10. Lef. 9. 6, 23. Pen. 14. 10.

20 A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, ac wrth Aaron, gan ddywedyd,

21 [i] Ymneillduwch o fysg y gynnulleidfa hon, a mi a'u difaf hwynt ar unwaith.

[i] Edrych Gen. 19. 17, 22. Jer. 51. 6. Dat. 18. 4.

22 A hwy a syrthiasant ar eu hwynebau, ac a ddywedasant, O DDUW, [k] DUW ysprydion pob cnawd, un dyn a bechodd, ac a ddigi di wrth yr holl gynnulleidfa?

[k] Pen. 27. 16. Job 12. 10. Preg. 12. 7. Esay 57. 16. Zec. 12. 1. Heb. 12. 9.

23 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

24 Llefara wrth y gynnulleidfa, gan ddywedyd, Ewch ymaith o gylch pabell Corah, Dathan, ac Abiram.

25 A chyfododd Moses, ac a aeth at Ddathan ac Abiram: a henuriaid Israel a aethant ar ei ol ef.

26 Ac efe a lefarodd wrth y gynnulleidfa, gan ddywedyd, Ciliwch, attolwg, oddi wrth bebyll y dynion drygionus hyn, ac na chyffyrddwch â dim o'r eiddynt; rhag eich difetha yn eu holl bechodau hwynt.

27 Yna yr aethant oddi wrth babell Corah, Dathan, ac Abiram, o amgylch: a Dathan ac Abiram, eu gwragedd hefyd, a'u meibion, a'u plant, a ddaethant allan, gan sefyll *wrth* ddrws eu pebyll.

28 A dywedodd Moses, Wrth hyn y cewch wybod mai'r ARGLWYDD a'm hanfonodd i wneuthur yr holl weithredoedd hyn; ac nad o'm meddwl fy hun *y gwneuthum hwynt.*

29 Os bydd y rhai hyn feirw fel y bydd marw pob dyn, ac *os* ymwelir â hwynt ag ymwelediad pob dyn; nid yr ARGLWYDD am hanfonodd i.

30 Ond os yr ARGLWYDD a ‡ wna newyddbeth; fel yr agoro'r ddaear ei safn, a'u llyngcu hwynt, a'r hyn oll *sydd* eiddynt, fel y disgynont yn fyw i uffern; yna y cewch wybod ddigio o'r gwŷr hyn yr ARGLWYDD.

‡ Heb. *greа greadur.*

31 ¶ [l] A bu, wrth orphen o hono lefaru yr holl eiriau hyn, hollti o'r ddaear *oedd* danynt hwy.

[l] Pen. 26. 10. a 27. 3. Deut. 11. 6. Psalm 106. 17.

32 Agorodd y ddaear hefyd ei safn, a llyngcodd hwynt, a'u tai hefyd, a'r [m] holl ddynion *oedd* gan Corah, a'u holl gyfoeth.

[m] Edrych ad. 17. Pen. 26. 11. 1 Chron. 6. 22, 37.

33 A hwynt, a'r rhai oll a'r *a oedd* gyd â hwynt, a ddisgynasant yn fyw § i uffern;

§ Neu, *i'r pwll.*

a'r ddaear a gauodd arnynt: a difethwyd hwynt o blith y gynnulleidfa.

34 A holl Israel, y rhai *oedd* o'u hamgylch hwynt, a ffoisant wrth eu gwaedd hwynt: canys dywedasant, *Ciliwn*, rhag i'r ddaear ein llyngcu ninnau.

35 Tân hefyd a aeth allan oddi wrth yr ARGLWYDD, ac a ddifaodd y dau cant a'r deg a deugain o wŷr oedd yn offrymmu'r arogl-darth.

36 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

37 Dywed wrth Eleazar, fab Aaron yr offeiriad, am godi o hono efe'r thusserau o fysg y llosg; a gwasgara'r tân oddi yno allan: canys [n] sanctaidd ydynt.

[n] Edrych Lef. 27. 28.

38 *Sef* thusserau'r rhai hyn a bechasant yn erbyn eu heneidiau eu hun; a gweithier hwynt yn ddalennau llydain, *i fod* yn gaead i'r allor: canys offrymmasant hwynt ger bron yr ARGLWYDD; am hynny sanctaidd ydynt: a byddant yn arwydd i feibion Israel.

39 A chymmerodd Eleazar yr offeiriad y thusserau pres, â'r rhai yr offrymmasai'r *gwŷr* a losgasid; ac estynwyd hwynt yn gaead i'r allor:

40 Yn goffadwriaeth i feibion Israel; fel na nesao gwr dïeithr (yr hwn ni byddo o had Aaron) i losgi arogl-darth ger bron yr ARGLWYDD; ac na byddo fel Corah a'i gynnulleidfa: megis y llefarasai 'r ARGLWYDD trwy law Moses wrtho ef.

41 ¶ A holl gynnulleidfa meibion Israel a duchanasant drannoeth yn erbyn Moses, ac yn erbyn Aaron, gan ddywedyd, Chwi a laddasoch bobl yr ARGLWYDD.

42 A bu, wedi ymgasglu o'r gynnulleidfa yn erbyn Moses ac Aaron, edrych o honynt ar babell y cyfarfod: ac wele, toasai'r cwmmwl hi, ac ymddangosodd gogoniant yr ARGLWYDD.

43 Yna y daeth Moses ac Aaron o flaen pabell y cyfarfod.

44 ¶ A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses, gan ddywedyd,

45 Ciliwch o blith y gynnulleidfa hon, a mi a'u difaf hwynt yn ddisymmwth. A [o] hwy a syrthiasant ar eu hwynebau.

[o] Pen. 20. 6.

46 ¶ Dywedodd Moses hefyd wrth Aaron, Cymmer thusser, a dod dân oddi ar yr allor ynddi, a gosod arogl-darth *arni*, *a* dos yn fuan at y gynnulleidfa, a gwna gymmod drostynt: canys digofaint a aeth allan oddi ger bron yr ARGLWYDD; dechreuodd y pla.

47 A chymmerodd Aaron megis y llefarodd Moses, ac a redodd i ganol y gynnulleidfa; ac wele, dechreuasai'r pla ar y bobl: ac efe a rodd arogl-darth, ac a wnaeth gymmod dros y bobl.

48 Ac efe a safodd rhwng y meirw a'r byw; a'r bla a attaliwyd.

49 A'r rhai a fuant feirw o'r bla oedd bedair mil ar ddeg a saith gant, heb law'r rhai a fuant feirw yn achos Corah.

50 A dychwelodd Aaron at Moses i ddrws pabell y cyfarfod: a'r bla a attaliwyd.

## PEN. XVII.

Chwefr. 15. P.

1 *Gwïalen Aaron ym mhlith holl wïail y llwythau ym unig yn blodeuo.* 10 *Ei gadael hi yn lle coffadwriaeth yn erbyn y gwrthryfelwŷr.*

Cylch 1471.

A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

2 Llefara wrth feibion Israel, a chymmer gan bob un o honynt wïalen, yn ol tŷ eu tadau, *sef* gan bob un o'u pennaethiaid, yn ol tŷ eu tadau, deuddeg gwïalen: ysgrifena enw pob un ar ei wïalen.

3 Ac ysgrifena enw Aaron ar wïalen Lefi: canys un wïalen *fydd* dros bob pennaeth tŷ eu tadau.

4 A gad hwynt ym mhabell y cyfarfod, ger bron y dystiolaeth, [a] lle y cyfarfyddaf â chwi.

[a] Exod. 25. 22.

5 A gwïalen y gwr a ddewiswyf, a flodeua: a mi a wnaf i † furmur meibion Israel, y rhai y maent yn ei furmur i'ch erbyn, beidio â mi.

† Heb. *rwgnach.*

6 ¶ A llefarodd Moses wrth feibion Israel: a'u holl bennaethiaid a roddasant atto ‡ wïalen dros bob pennaeth, yn ol tŷ eu tadau, *sef* deuddeg gwïalen; a gwïalen Aaron *oedd* ym mysg eu gwïail hwynt.

‡ Heb. *wïalen dros un pennaeth, a gwïalen dros un pennaeth.*

7 A Moses a adawodd y gwïail ger bron yr ARGLWYDD, ym mhabell y dystiolaeth.

8 A thrannoeth y daeth Moses i babell y dystiolaeth: ac wele, gwïalen Aaron dros dŷ Lefi a flagurasai, ac a fwriasai flagur, ac a flodeuasai flodau, ac a ddygasai almonau.

9 A dug Moses allan yr holl wïail oddi ger bron yr ARGLWYDD at holl feibion Israel. Hwythau a edrychasant, ac a gymmerasant bob un ei wïalen ei hun.

10 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, Dod [b] wïalen Aaron drachefn ger bron y dystiolaeth, i'w chadw yn arwydd i'r meibion gwrthryfelgar; fel y gwnelech i'w tuchan hwynt beidio â mi, ac na byddont feirw.

[b] Heb. 9. 4.

11 A gwnaeth Moses fel y gorchymynodd yr ARGLWYDD iddo; felly y gwnaeth efe.

12 A meibion Israel a lefarasant wrth Moses, gan ddywedyd, Wele ni yn trengi; darfu am danom, darfu am danom ni oll.

13 Bydd farw pob un gan nesâu a nesao i dabernacl yr ARGLWYDD. A wneir pen am danom gan drengi?

## PEN. XVIII.

1 *Swydd yr offeiriaid a'r Lefiaid.* 9 *Rhan yr offeiriaid.* 21 *Rhan y Lefiaid.* 25 *Rhoddi yr offrwm dyrchafael i'r offeiriaid allan o ran y Lefiaid.*

Cylch 1471.

A Dywedodd yr ARGLWYDD wrth Aaron, Tydi a'th feibion, a thylwyth dy dad gyd â thi, a ddygwch anwiredd y cyssegr: a thi a'th feibion gyd â thi a ddygwch anwiredd eich offeiriadaeth.

2 A dwg hefyd gyd â thi dy frodyr *o* lwyth Lefi, *sef* llwyth dy dad, i [a] lynu wrthyt ti, ac i'th [b] wasanaethu: tithau a'th feibion gyd â thi *a wasanaethwch* ger bron pabell y dystiolaeth.

[a] Edrych Gen. 29. 34.
[b] Pen. 3. 6, 7.

3 A hwy a gadwant dy gadwraeth di, a [c] chadwraeth yr holl babell: ond na ddeuant yn agos at ddodrefn y cyssegr, nac at yr allor, rhag eu marw hwynt, a chwithau hefyd.

[c] Pen. 3. 25, 31, 36.

4 Ond hwy a lynant wrthyt, ac a oruchwyliant babell y cyfarfod, yn holl wasanaeth y babell: ac na ddeued dïeithr yn agos attoch.

5 Eithr cedwch chwi [d] oruchwyliaeth y cyssegr, a goruchwyliaeth yr allor; fel na byddo digofaint mwy yn erbyn meibion Israel.

[d] Exod. 27. 21. a 30. 7. Lef. 24. 3. Pen. 8. 2.

6 Ac wele, mi [e] a gymmerais dy frodyr di, y Lefiaid, o fysg meibion Israel: [f] i ti y rhoddwyd *hwynt, megis* rhodd i'r AR-

[e] Pen. 3. 12, 45.
[f] Pen. 3. 9.

ARGLWYDD, i wasanaethu gwasanaeth pabell
y cyfarfod.
7 Tithau a'th feibion gyd â thi a gedwch
eich offeiriadaeth; ynghylch pob peth *a ber-*
*thyn* i'r allor, ac o fewn y llenn wahan, y
gwasanaethwch: yn wasanaeth rhodd y
rhoddais eich offeiriadaeth *i* chwi; a'r dï-
eithr a ddelo yn agos, a leddir.
8 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth
g Lef. 6. 16, Aaron, Wele, g mi a roddais i ti hefyd or-
18, 26. a 7. uchwyliaeth fy offrymmau dyrchafael, o holl
6, 32. gyssegredig bethau meibion Israel; rhoddais
Pen. 5. 9. hwynt i ti, o herwydd yr enneiniad, ac i'th
feibion, trwy ddeddf dragywyddol.
9 Hyn fydd i ti o'r pethau sancteiddiolaf
*a gedwir allan* o'r tân: eu holl offrymmau
h Lef. 2. 2, hwynt, eu holl h fwyd-offrwm, a'u holl
3. i aberthau dros bechod, a'u holl k aberthau
i Lef. 4. 22, dros gamwedd, y rhai a dalant i mi, *fyddant*
27. a 6. 25. sancteiddiolaf i ti, ac i'th feibion.
k Lef. 5. 1. 10 O fewn y cyssegr sanctaidd y bwyttêi
a 7. 7. a 10. ef; l pob gwrryw a'i bwytty ef: cyssegr-
12. a 14. 13. edig fydd efe i ti.
l Lef. 6. 29. 11 Hyn hefyd *fydd* i ti; m offrwm dyr-
a 7. 6. chafael eu rhoddion hwynt, ynghŷd â holl
m Exod. 29. offrymmau cyhwfan meibion Israel: n i ti
27. y rhoddais hwynt, ac i'th feibion, ac i'th
Lef. 7. 31. ferched gyd â thi, trwy ddeddf dragywydd-
n Lef. 10. ol: o pob un glân yn dy dŷ a gaiff fwytta o
14. hono.
Deut. 18. 3. 12 p Holl † oreuon yr olew, a holl oreu-
o Lef. 22. 2. on y gwin a'r ŷd, *sef* eu blaen-ffrwyth
p Deut. 18. hwynt yr hwn a roddant i'r ARGLWYDD, a
4. roddais i ti.
† Heb. 13 Blaen-ffrwyth pob dim yn eu tir hwynt
*frasder.* q yr hwn a ddygant i'r ARGLWYDD, fydd
q Exod. 22. eiddot ti: pob un glân yn dy dŷ a fwytty
29. a 23. 19. o hono.
a 34. 26. 14 r Pob dïofryd-beth yn Israel fydd eid-
Lef. 2. 14. dot ti.
Pen. 15. 19. 15 Pob peth a agoro s 'r groth o bob cnawd
Deut. 26. 2. yr hwn a offrymmir i'r ARGLWYDD, o ddyn
r Lef. 27. ac o anifail, fydd eiddot ti: ond t gan brynu
28. y pryni bob cyntaf-anedig i ddyn; a phryn
s Exod. 13. y cyntaf-anedig i'r anifail aflan.
2. a 22. 29. 16 A phar brynu 'r rhai a bryner o ho-
Lef. 27. 26. nynt, o fab misyriad, u yn dy bris di, *er* pum
Pen. 3. 13. sicl o arian, wrth sicl y cyssegr: x ugain gerah
t Exod. 13. *yw* hynny.
13. a 34. 20. 17 Ond na phryn y cyntaf-anedig o eidion,
u Lef. 27. 2. neu gyntaf-anedig dafad, neu gyntaf-anedig
x Exod. 30. gafr; sanctaidd *ydynt* hwy: eu gwaed a
13. daenelli ar yr allor, a'u gwer a losgi yn aberth
Lef. 27. 25. tanllyd, o arogl peraidd i'r ARGLWYDD.
Pen. 3. 47. 18 Ond eu cig fydd eiddot ti; fel y parwy-
Ezec. 45. den y cyhwfan, ac fel yr ysgwyddog ddehau,
12. y mae yn eiddot ti.
y Exod. 29. 19 Holl offrymmau dyrchafael y pethau
26, 28. sanctaidd, y rhai a offrymmo meibion Is-
rael i'r ARGLWYDD, a roddais i ti, ac i'th
feibion, ac i'th ferched gyd â thi, trwy
z 2 Chron. ddeddf dragywyddol: z cyfammod halen
13. 5. tragywyddol *fydd* hyn, ger bron yr AR-
GLWYDD, i ti, ac i'th had gyd â thi.
20 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Aaron, Na fydded i ti etifeddiaeth yn eu tir
hwynt, ac na fydded it' ran yn eu mysg
a Deut. 10. hwynt: a myfi *yw* dy ran di, a'th etifeddi-
9. a 12. 12. aeth, ym mysg meibion Israel.
a 18. 2. 21 Ac wele, b mi a roddais i feibion Lefi
Josua 13. bob degwm yn Israel, yn etifeddiaeth, am
14, 33. eu gwasanaeth y maent yn ei wasanaethu,
Ezec. 44. *sef* gwasanaeth pabell y cyfarfod.
28. 22 Ac na ddeued meibion Israel mwyach
b Lef. 27. yn agos i babell y cyfarfod; rhag iddynt
30. ddwyn pechod, ‡ a marw.
‡ Heb.
*i farw.*

23 Ond gwasanaethed y Lefiaid wasanaeth
pabell y cyfarfod, a dygant eu hanwiredd:
deddf dragywyddol *fydd hyn* trwy eich cen-
hedlaethau, nad etifeddant hwy etifeddiaeth
ym mysg meibion Israel.
24 Canys degwm meibion Israel, yr hwn
a offrymmant yn offrwm dyrchafael i'r
ARGLWYDD, a roddais i'r Lefiaid yn eti-
feddiaeth: am hynny dywedais wrthynt,
c nad etifeddent etifeddiaeth ym mysg meib- c Deut. 10.
ion Israel. 9. a 14. 27,
25 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth 29. a 18. 1.
Moses, gan ddywedyd,
26 Llefara hefyd wrth y Lefiaid, a dywed
wrthynt, Pan gymmeroch gan feibion Israel
y degwm a roddais i chwi yn etifeddiaeth
oddi wrthynt; yna offrymmwch o hynny
offrwm dyrchafael i'r ARGLWYDD, *sef*
degwm o'r degwm.
27 A chyfrifir i chwi eich offrwm dyr-
chafael, fel yr ŷd o'r ysgubor, ac fel cyf-
lawnder o'r gwin-wrŷf.
28 Felly 'r offrymmwch chwithau hefyd
offrwm dyrchafael i'r ARGLWYDD, o'ch
holl ddegymmau a gymmeroch gan feib-
ion Israel; a rhoddwch o hynny ddyrcha-
fael-offrwm yr ARGLWYDD i Aaron yr
offeiriad.
29 O'ch holl roddion offrymmwch bob
offrwm dyrchafael yr ARGLWYDD o bob
§ goreu o hono, *sef* y rhan gyssegredig, allan § Heb.
o hono ef. *brasder.*
30 A dywed wrthynt, Pan ddyrchafoch
ei oreuon allan o hono, cyfrifir i'r Lefiaid
fel toreth yr ysgubor, a thoreth y gwin-
wrŷf.
31 A bwyttêwch ef ym mhob lle, chwi
a'ch tylwyth: canys d gwobr *yw* efe i d 1 Tim. 5.
chwi, am eich gwasanaeth ym mhabell y 18.
cyfarfod.
32 Ac ni ddygwch bechod o'i herwydd,
gwedi y dyrchafoch ei oreuon o hono: na
halogwch chwithau bethau sanctaidd meib-
ion Israel; fel na byddoch feirw.

## PEN. XIX.

1 *Y dwfr neillduaeth a wnaid o ludw anner goch.* 11 *Y gyfraith pa fodd yr arferid ef wrth buro'r aflan.*

LLEFARODD yr ARGLWYDD hefyd wrth Cylch
Moses, ac wrth Aaron, gan ddywedyd, 1471.
2 Dyma ddeddf y gyfraith a orchymyn-
odd yr ARGLWYDD, gan ddywedyd, Lle-
fara wrth feibion Israel, am ddwyn o ho-
nynt attat anner goch berffeith-gwbl, yr
hon ni byddo anaf arni, ac nid aeth iau
arni.
3 A rhoddwch hi at Eleazar yr offeiriad:
a phared efe ei dwyn hi o'r a tu allan i'r a Heb. 13.
gwersyll; a lladded *un* hi ger ei fron ef. 11.
4 A chymmered Eleazar yr offeiriad *beth*
o'i gwaed hi ar ei fys, a b thaenelled o'i b Heb. 9.
gwaed hi ar gyfer wyneb pabell y cyfarfod 13.
saith waith.
5 A llosged *un* yr anner yn ei olwg ef:
c ei chroen, a'i chig, a'i gwaed, ynghŷd â'i c Exod. 29.
biswail, a losg efe. 14.
6 A chymmered yr offeiriad goed cedr, Lef. 4. 11,
ac isop, ac ysgarlad; a bwried i ganol llosg- 12.
fa'r anner.
7 A golched yr offeiriad ei wisgoedd,
troched hefyd ei gnawd mewn dwfr, ac
wedi hynny deued i'r gwersyll; ac aflan
fydd yr offeiriad hyd yr hwyr.
8 Felly golched yr hwn a'i llosgo hi ei
ddillad mewn dwfr, a golched hefyd ei

gnawd mewn dwfr; ac aflan fydd hyd yr
hwyr.
d Heb. 9. 9 A chasgled un glân [d] ludw 'r anner, a
13. gosoded o'r tu allan i'r gwersyll mewn lle
glân; a bydded ynghadw i gynnulleidfa
meibion Israel, yn ddwfr neillduaeth: pech-
aberth *yw*.
10 A golched yr hwn a gasglo ludw 'r
anner, ei ddillad; aflan fydd hyd yr hwyr:
a bydd hyn i feibion Israel, ac i'r dïeithr
a ymdeithio yn eu mysg hwynt, yn ddeddf
dragywyddol.
e Lef. 21. 1. 11 ¶ [e] A gyffyrddo â chorph marw † dyn,
Pen. 5. 2. aflan fydd saith niwrnod.
a 31. 19. 12 [f] Ymlanhâed trwy 'r *dwfr* hwnnw y
e Har. 4. 14. Hag. 2. 13. trydydd dydd, a 'r seithfed dydd glân fydd:
† Heb. ac os y trydydd dydd nid ymlanhâ efe; yna
*enaid.* ni bydd efe lân y seithfed dydd.
f Pen. 31. 13 Pob un a gyffyrddo â chorph marw dyn
19. fyddo wedi marw, ac nid ymlanhao, [g] sydd
g Lef. 15. yn halogi tabernacl yr ARGLWYDD; a
31. thorrir ymaith yr enaid hwnnw oddi wrth
Israel: am na thaenellwyd dwfr neillduaeth
arno, aflan fydd efe; ei aflendid *sydd* etto
arno.
14 Dyma 'r gyfraith, pan fyddo marw dyn
mewn pabell; pob un a ddelo i'r babell,
a phob un *a fyddo* yn y babell, fydd aflan
saith niwrnod.
h Pen. 31. 15 A phob llestr [h] agored ni byddo cadach
20. wedi ei rwymo arno, aflan *yw* efe.
16 Pob un hefyd a gyffyrddo, ar wyneb
y maes, ag un wedi ei ladd â chleddyf, neu
ag un marw, neu ag asgwrn dyn, neu â
bedd, a fydd aflan saith niwrnod.
‡ Heb. 17 Cymmerant dros yr aflan o ‡ ludw
*lwch.* llosg yr offrwm dros bechod; a rhodder
§ Heb. atto ddwfr § rhedegog mewn llestr;
*byw.* 18 A chymmered [i] isop, a golched un
i Psalm dihalogedig *ef* mewn dwfr, a thaenelled ar
51. 7. y babell, ac ar yr holl lestri, ac ar yr holl
ddynion oedd yno, ac ar yr hwn a gyffyrdd-
odd ag asgwrn, neu un wedi ei ladd, neu un
wedi marw, neu fêdd:
19 A thaenelled y glân ar yr aflan y
trydydd dydd, a'r seithfed dydd; ac ym-
lanhâed efe y seithfed dydd, a golched ei
ddillad, ymolched mewn dwfr, a glân fydd
yn yr hwyr.
20 Ond y gwr a haloger, ac nid ymlan-
hao, torrir ymaith yr enaid hwnnw o fysg y
gynnulleidfa: canys efe a halogodd gyssegr
yr ARGLWYDD, ni thaenellwyd arno ddwfr
y neillduaeth; aflan *yw* efe.
21 A bydd iddynt yn ddeddf dragywydd-
ol, bod i'r hwn a daenello ddwfr y neilldu-
aeth, olchi ei ddillad; a'r hwn a gyffyrddo
â dwfr y neillduaeth, a fydd aflan hyd yr
hwyr.
22 A'r hyn oll a gyffyrddo 'r aflan ag ef,
fydd aflan: a'r dyn a gyffyrddo â *hynny,*
fydd aflan hyd yr hwyr.

## PEN. XX.

Chwefr. 1 *Plant Israel yn dyfod i Sin; lle y bu farw*
10. B. *Miriam. 2 Hwynt-hwy yn tuchan o eisiau*
*dwfr. 7 Moses yn taro 'r graig, ac yn dwyn*
*allan ddwfr ym Meribah. 12 Cospedigaeth*
*Moses ac Aaron, am eu petrusedd. 14*
*Moses yn Cades yn deisyfu ffordd i dram-*
*wy trwy Edom; ac yn cael ei naccâu.*
*22 Aaron yn rhoddi i fynu ei le i Eleazar,*
*ac yn marw.*

1453. A Meibion Israel, *sef* yr holl gynnulleid-
fa, a ddaethant i anialwch Sin, yn y
mis cyntaf; ac arhôdd y bobl yn Cades:
yno hefyd y bu farw Miriam; ac yno y
claddwyd hi.
2 Ac nid oedd dwfr i'r gynnulleidfa: a
hwy a ymgasglasant yn erbyn Moses ac
Aaron.
3 Ac [a] ymgynhennodd y bobl â Moses, a a Exod. 17.
llefarasant, gan ddywedyd, O na buasem 2.
feirw [b] pan fu feirw ein brodyr ger bron yr b Pen. 11.
ARGLWYDD! 1, 33. a 14. 37. a 16. 32,
4 [c] Pa ham y dygasoch gynnulleidfa 'r 35, 46.
ARGLWYDD i'r anialwch hwn, i farw o c Exod. 17.
honom ni a'n hanifeiliaid ynddo? 3.
5 A pha ham y dygasoch ni i fynu o'r
Aipht, i'n dwyn ni i'r lle drwg yma? lle
heb had na ffigysbren, na gwinwydden
na phomgranadbren, ac heb ddwfr i'w
yfed?
6 A daeth Moses ac Aaron oddi ger bron
y gynnulleidfa, i ddrws pabell y cyfarfod;
ac [d] a syrthiasant ar eu hwynebau: [e] a go- d Pen. 14. 5.
goniant yr ARGLWYDD a ymddangosodd a 16. 4.
iddynt. e Pen. 14.
7 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth 10.
Moses, gan ddywedyd,
8 [f] Cymmer y wïalen, a chasgl y gyn- f Exod. 17.
nulleidfa, ti ac Aaron dy frawd; ac yn eu 5.
gŵydd hwynt lleferwch wrth y graig, a hi
a rydd ei dwfr: [g] a thynn dithau iddynt g Neh. 9.
ddwfr o'r graig, a dïoda 'r gynnulleidfa a'u 15.
hanifeiliaid. Psalm 78.
15, 16. a
9 A Moses a gymmerodd y wïalen oddi 105. 41. a
ger bron yr ARGLWYDD, megis y gorchy- 114. 8.
mynasai efe iddo. Esay 43. 20.
a 48. 21.
10 A Moses ac Aaron a gynnullasant y h Psal. 106.
dyrfa ynghŷd o flaen y graig: ac [h] efe a 33.
ddywedodd wrthynt, Gwrandêwch yn awr,
chwi wrthryfelwŷr; Ai o'r graig hon y tynn-
wn i chwi ddwfr?
11 A Moses a gododd ei law, ac a daraw-
odd y graig ddwy waith â'i wïalen: a [i] daeth i Exod. 17.
dwfr lawer allan; a'r gynnulleidfa a yfodd, 6.
a'u hanifeiliaid *hefyd.* 1 Cor. 10.
4.
12 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth k Pen. 27.
Moses, ac wrth Aaron, Am [k] na chredasoch 14.
i mi, i'm sancteiddio yngŵydd meibion Is- Deut. 1. 37
rael; am hynny ni ddygwch y dyrfa hon i'r a 3. 26. a
tir a roddais iddynt. 32. 51.
13 [l] Dyma ddyfroedd † Meribah; lle 'r l Deut. 33.
ymgynhennodd meibion Israel â'r AR- 8.
GLWYDD; ac y sancteiddiwyd ef yn- Psalm 95.
ddynt. 8. 106. 32, &c.
14 ¶ A Moses a anfonodd genhadon o † Hynny
Cades at frenhin Edom, *gan ddywedyd,* Fel yw, *Cyn-*
hyn y dywed Israel [m] dy frawd; Ti a wydd- *nen.*
ost yr holl flinder a gawsom ni: m Deut. 23.
7.
15 Pa wedd yr aeth ein tadau i wared i'r Obad. 10,
Aipht, ac yr arhosasom yn yr Aipht lawer o 12.
ddyddiau; ac y drygodd yr Aiphtiaid ni,
a'n tadau.
16 A [n] ni a waeddasom ar yr ARGLWYDD; n Exod. 2.
ac efe a glybu ein llef ni, ac [o] a anfonodd 23. a 3. 7.
angel, ac a'n dug ni allan o'r Aipht: ac o Exod. 14.
wele ni yn Cades, dinas *ar* gwrr dy ar- 19. a 23. 20.
dal di.
17 Attolwg, gad i ni fyned trwy dy
wlad: nid awn trwy faes, na gwinllan, ac
nid yfwn ddwfr *un* ffynnon: *prif*-ffordd y
brenhin a gerddwn; ni thrown ar y llaw dde-
hau nac ar y llaw aswy, nes i ni fyned allan
o'th derfynau di.
18 A dywedodd Edom wrtho, Na thyred
heibio i mi, rhag im' ddyfod â'r cleddyf
i'th gyfarfod.
19 A meibion Israel a ddywedasant wrtho,
Ar hŷd y brif-ffordd yr awn i fynu; ac

os myfi neu fy anifeiliaid a yfwn o'th ddwfr
p Deut. 2. 6, 28. di, [p] rhoddaf ei werth ef; yn unig ar fy
nhraed yr af trwodd yn ddiniweid.
20 Yntau a ddywedodd, Ni chai fyned
trwodd. A daeth Edom allan i gyfarfod ag
ef, â phobl lawer, ac â llaw gref.
q Edrych Deut. 2. 29. 21 Felly Edom [q] a naccaodd roddi ffordd
i Israel trwy ei fro: am hynny [r] Israel a
r Deut. 2. 4, 5. Barn. 11. 18. drodd oddi wrtho ef.
22 ¶ A meibion Israel, *sef* yr holl gynnull-
eidfa, [s] a deithiasant o Cades, ac a ddaeth-
s Pen. 33. 37. ant i fynydd Hor.
23 A'r ARGLWYDD a lefarodd wrth Moses
ac Aaron ym mynydd Hor, wrth derfyn tir
Edom, gan ddywedyd,
24 Aaron a gesglir at ei bobl: ac ni ddaw
i'r tir a roddais i feibion Israel; am i chwi
† Heb. genau. anufuddhâu i'm † gair, wrth ddwfr ‡ Me-
ribah.
‡ Hynny yw, Cynnen. 25 [t] Cymmer Aaron ac Eleazar ei fab, a
dwg hwynt i fynu i fynydd Hor;
t Pen. 33. 38. Deut. 32. 50. 26 A diosg ei wisgoedd oddi am Aaron,
a gwisg hwynt am Eleazar ei fab ef: canys
Aaron a gesglir *at ei bobl*, ac a fydd farw yno.
27 A gwnaeth Moses megis y gorchy-
mynodd yr ARGLWYDD: a hwy a aeth-
ant i fynu i fynydd Hor, yngŵydd yr holl
gynnulleidfa.
1452. 28 A diosgodd Moses oddi am Aaron ei
wisgoedd, ac a'u gwisgodd hwynt am Ele-
u Deut. 10. 6. a 32. 50. azar ei fab ef: a [u] bu farw Aaron yno ym
mhen y mynydd. A disgynodd Moses ac
Eleazar o'r mynydd.
x Felly Deut. 34. 8. 29 A'r holl gynnulleidfa a welsant farw
Aaron; a holl dŷ Israel a wylasant am Aa-
ron [x] ddeng niwrnod ar hugain.

## PEN. XXI.

Chwefr. 16. P. 1 *Israel trwy beth colled yn difetha'r Canaan-*
*eaid yn Hormah.* 4 *Y bobl yn tuchan, ac yn*
*cael eu brathu gan seirph tanllyd;* 7 *ac ar*
*eu hedifeirwch yn cael eu hiachâu gan y*
*sarph bres.* 10 *Amryw deithiau'r Israel-*
*iaid.* 21 *Gorchfygu Sehon,* 33 *ac Og.*

1452. a Pen. 33. 40. Edrych Barn. 1. 6. A [a] Brenhin Arad y Canaanead, preswyl-
ydd y dehau, a glybu fod Israel yn
dyfod *ar hŷd* ffordd yr ysbïwŷr; ac a ry-
felodd yn erbyn Israel, ac a ddaliodd *rai* o
honynt yn garcharorion.
2 Ac addunodd Israel adduned i'r AR-
GLWYDD, ac a ddywedodd, Os gan roi y
rhoddi'r bobl yma yn fy llaw; yna mi a
ddifrodaf eu dinasoedd hwynt.
3 A gwrandawodd yr ARGLWYDD ar
lais Israel; ac a roddodd y Canaaneaid *yn*
*ei law* ef: ac efe a'u difrododd hwynt, a'u
dinasoedd; ac a alwodd enw'r lle *hwnnw*
† Hynny yw, Difrod. † Hormah.
4 ¶ A [b] hwy a aethant o fynydd Hor,
b Pen. 33. 41. *ar hŷd* ffordd y môr coch, i amgylchu tir
Edom: a chyfyng ydoedd ar enaid y bobl,
o herwydd y ffordd.
5 A llefarodd y bobl yn erbyn Duw, ac
yn erbyn Moses, Pa ham y dygasoch ni o'r
Aipht, i farw yn yr anialwch? canys nid
c Pen. 11. 6. *oes* na bara na dwfr; [c] a ffiaidd yw gan ein
henaid y bara gwael *hwn*.
d Doeth. 16. 1. 5. 1 Cor. 10. 9. 6 [d] A'r ARGLWYDD a anfonodd ym mysg
y bobl [e] seirph tanllyd; a hwy a frathasant
y bobl: a bu feirw o Israel bobl lawer.
e Deut. 8. 15. 7 ¶ A daeth y bobl at Moses, a dywedas-
ant, Pechasom; canys llefarasom yn erbyn
f Exod. 8. 8, 28. 1 Bren. 13. 6. Act. 8. 24. yr ARGLWYDD, ac yn dy erbyn dithau:
[f] gweddïa ar yr ARGLWYDD, ar yrru o
hono ef y seirph oddi wrthym. A gweddi-
odd Moses dros y bobl.

8 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, Gwna it' sarph danllyd, a gosod ar
drostan: a phawb a frather, ac a edrycho
ar honno, fydd byw.
9 A [g] gwnaeth Moses sarph bres, ac a'i g 2 Bren. 18. 4. Ioan 3. 14.
gosododd ar drostan: yna os brathai sarph
wr, ac edrych o hono ef ar y sarph bres,
byw fyddai.
10 ¶ A meibion Israel a gychwynasant
*oddi yno*, ac [h] a wersyllasant yn Oboth. h Pen. 33. 43.
11 A hwy a aethant o Oboth, ac [i] a wer-
syllasant ‡ yngharneddau Abarim, yn yr i Pen. 33. 44.
anialwch, yr hwn *oedd* ar gyfer Moab, tu a
chodiad haul. ‡ Heb. yn Ije-Abarim.
12 ¶ [k] Cychwynasant oddi yno, a gwer-
syllasant wrth afon Zared. k Deut. 2. 13.
13 Cychwynasant oddi yno, a gwersyll-
asant wrth ryd Arnon, yr hon *sydd* yn yr
anialwch, yn dyfod allan o ardal yr Amor-
iaid: canys [l] Arnon *oedd* derfyn Moab, l Barn. 11. 18.
rhwng Moab a'r Amoriaid.
14 Am hynny dywedir yn llyfr rhy-
feloedd yr ARGLWYDD, § Y peth a § Neu, Faheb yn Suphah.
wnaeth efe yn y môr coch, ac yn afonydd
Arnon,
15 Ac *wrth* raiadr yr afonydd, yr hwn a
dreigla i breswylfa Ar, ac a ‖ bwysa at der- ‖ orwedd ar.
fyn Moab.
16 Ac oddi yno'r *aethant* i Beer: honno
*yw*'r ffynnon lle y dywedodd yr AR-
GLWYDD wrth Moses, Casgl y bobl yng-
hŷd, a mi a roddaf iddynt ddwfr.
17 ¶ Yna y canodd Israel y gân hon:
Cyfod, ffynnon; † cenwch iddi. † Neu, attebwch.
18 Ffynnon a gloddiodd y tywysogion, *ac*
a gloddiodd pennaethiaid y bobl, ynghŷd
â'r deddfwr, â'u ffyn. Ac o'r anialwch *yr*
*aethant* i Mattanah:
19 Ac o Mattanah i Nahalïel; ac o Naha-
lïel i Bamoth:
20 Ac o Bamoth, *yn* y dyffryn *sydd* ‡ yng- ‡ Heb. ym maes.
wlâd Moab, i ben § y bryn sydd yn edrych § Pisgah.
tu a ‖ 'r diffaethwch. ‖ Jesimon.
21 ¶ Yna [m] yr anfonodd Israel genhadau m Deut. 2. 26, 27.
at Sehon brenhin yr Amoriaid, gan ddy- Barn. 11.
wedyd, 19.
22 [n] Gad i mi fyned trwy dy dir: ni n Pen. 20. 17.
thrown i faes, na gwinllan; nid yfwn ddwfr
*un* ffynnon: ar hŷd ffordd y brenhin y
cerddwn, hyd onid elom allan o'th derfyn-
au di.
23 [o] Ac ni roddodd Sehon i Israel ffordd o Deut. 29. 7.
trwy ei wlad: ond casglodd Sehon ei holl
bobl, ac a aeth allan yn erbyn Israel i'r ani-
alwch: ac efe a ddaeth i Jahas, ac a ym-
laddodd yn erbyn Israel.
24 Ac [p] Israel a'i tarawodd ef â min y p Deut. 2. 32. a 29. 7.
cleddyf; ac a oresgynodd ei dir ef, o Ar- Jos. 12. 2.
non hyd Jabboc, hyd at feibion Am- a 24. 8.
mon: canys cadarn *oedd* terfyn meibion Neh. 9. 22.
Ammon. Psal. 135. 10, 11. a 136. 19.
25 A chymmerodd Israel yr holl ddinas-
oedd hynny: a thrigodd Israel yn holl ddi- Amos 2. 9.
nasoedd yr Amoriaid, yn Hesbon, ac yn ei
holl † bentrefydd. † Heb. ferched.
26 Canys dinas Sehon, brenhin yr Amor-
iaid, *ydoedd* Hesbon; ac yntau a ryfelasai 'n
erbyn brenhin Moab, yr hwn a fuasai o'r
blaen, ac a ddug ei dir ef oddi arno, hyd
Arnon.
27 Am hynny y dywed y diarhebwŷr,
Deuwch i Hesbon; adeilader a chadarnhaer
dinas Sehon.
28 Canys [q] tân a aeth allan o Hesbon, q Jer. 48. 45.
*a* fflam o ddinas Sehon: bwyttaodd Ar *ym* ‡ Uchelfydd Arnon.
Moab, *a* pherchenogion ‡ Bamoth Arnon.

29 Gwae di, Moab; darfu am danat, bobl
r 1 Bren. 11. [r] Cemos: rhoddodd ei feibion d'iangol, a'i
7, 33. 2 Bren. 23. ferched, mewn caethiwed i Sehon brenhin
13. yr Amoriaid.
30 Saethasom hwynt: darfu am Hesbon,
hyd Ddibon; ac anrhaithiasom hyd Nophah,
yr hon *sydd* hyd Medeba.
31 ¶ A thrigodd Israel yn nhir yr Amor-
iaid.
32 A Moses a anfonodd i chwilio Jazer:
a hwy a orchfygasant ei phentrefydd hi, ac a
yrrasant ymaith yr Amoriaid y rhai *oedd* yno.
s Deut. 3. 33 ¶ [s] Troisant hefyd ac aethant i fynu
1. a 29. 7. hyd ffordd Basan: ac Og brenhin Basan a
ddaeth allan yn eu herbyn hwynt i ryfel,
hyd Edrei, efe a'i holl bobl.
34 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, Nac ofna ef: canys yn dy law di y
t Psal. 135. rhoddais ef, a'i holl bobl, a'i dir; [t] a gwnai
10, 11. a iddo ef megis y gwnaethost i Sehon bren-
136. 20. hin yr Amoriaid, yr hwn *oedd* yn trigo yn
Hesbon.
35 Am hynny y tarawsant ef, a'i feibion,
a'i holl bobl, fel na adawyd iddo ef weddill:
a hwy a berchenogasant ei dir ef.

## PEN. XXII.

Sul 1 gwedi'r Pasg, P. Chwefr. 17. B. 1 *Cenhadon cyntaf Balac yn cael nâg gan Ba-
laam. 15 Ei ail-genhadon ef yn cael gan-
tho ddyfod. 22 Angel a'i lladdasai ef, oni
buasai i'w asen ei waredu ef. 36 Balac yn
ei groesawu ef.*

1452. A [a] Meibion Israel a gychwynasant, ac a
a Pen. 33. 48. wersyllasant yn rhosydd Moab, am yr
Iorddonen a Jericho.
2 ¶ A gwelodd Balac mab Sippor yr hyn
oll a wnaethai Israel i'r Amoriaid.
b Exod. 15. 15. 3 Ac [b] ofnodd Moab rhag y bobl yn fawr;
canys llawer *oedd*: a bu gyfyng ar Moab o
achos meibion Israel.
c Pen. 31. 4 A dywedodd Moab wrth [c] henuriaid Mi-
8. Jos. 13. 21. dian, Y gynnulleidfa hon yn awr a lyfant
ein holl amgylchoedd, fel y llyf yr ych wellt
y maes. A Balac mab Sippor *oedd* frenhin
ar Moab yn yr amser hwnnw.
d Deut. 23. 5 [d] Ac efe a anfonodd genhadau at Balaam
4. Jos. 13. 22. fab Beor, i [e] Pethor (yr hon *sydd* wrth
a 24. 9. afon tir meibion ei bobl) i'w gyrchu ef;
Neh. 13. gan ddywedyd, Wele, bobl a ddaeth allan
1, 2. Mic. 6. 5. o'r Aipht: wele, y maent yn cuddio † wy-
2 Petr 2. 15. neb y ddaear; ac y maent yn aros ar fy
Jud. 11. Dat. 2. 14. nghyfer i.
e Edrych 6 Yr awr hon, gan hynny, tyred, attolwg,
Pen. 23. 7. melldithia i mi'r bobl yma; canys cryfach
Deut. 23. 4. *ydynt* nâ mi: ond odid mi allwn ei daro
† Heb. ef, a'u gyrru hwynt o'r tir: canys mi a
*llygad.* wn mai bendigedig *fydd* yr hwn a fendith-
iech di, a melldigedig *fydd* yr hwn a fell-
dithiech.
7 A henuriaid Moab, a henuriaid Midian,
a aethant, *a gwobr* dewiniaeth yn eu dwy-
law: daethant hefyd at Balaam, a dywedas-
ant iddo eiriau Balac.
8 A dywedodd yntau wrthynt, Llettŷwch
yma heno; a rhoddaf i chwi atteb megis y
llefaro'r ARGLWYDD wrthyf. A thywys-
ogion Moab a arhosasant gyd â Balaam.
9 A daeth Duw at Balaam, ac a ddywed-
odd, Pwy *yw*'r dynion hyn *sydd* gyd â thi?
10 A dywedodd Balaam wrth DDUW,
Balac mab Sippor, brenhin Moab, a ddan-
fonodd attaf, *gan ddywedyd,*
11 Wele, bobl wedi dyfod allan o'r Aipht,
ac yn gorchuddio wyneb y ddaear: yr awr
hon tyred, rhega hwynt i mi; *felly* ond odid
y gallaf ryfela â hwynt, a'u gyrru allan.
12 A dywedodd Duw wrth Balaam, Na
ddos gyd â hwynt; na felldithia'r bobl:
canys bendigedig *ydynt.*
13 A Balaam a gododd y bore, ac a ddy-
wedodd wrth dywysogion Balac, Ewch i'ch
gwlad: oblegid yr ARGLWYDD a nacca-
odd adael i mi fyned gyd â chwi.
14 A thywysogion Moab a godasant, ac
a ddaethant at Balac; ac a ddywedasant,
Naccaodd Balaam ddyfod gyd â ni.
15 ¶ A Balac a anfonodd eilwaith fwy o
dywysogion, anrhydeddusach nâ'r rhai hyn.
16 A hwy a ddaethant at Balaam; ac a
ddywedasant wrtho, Fel hyn y dywed Balac
mab Sippor; Attolwg, na lludder di rhag
dyfod attaf:
17 Canys gan anrhydeddu y'th anrhy-
deddaf yn fawr; a'r hyn oll a ddywedech
wrthyf, a wnaf: tyred dithau, attolwg,
rhega i mi'r bobl hyn.
18 A Balaam a attebodd ac a ddywedodd
wrth weision Balac, [f] Pe rhoddai Balac i mi f Pen. 24.
arian ac aur lonaid ei dŷ, [g] ni allwn fyned 13.
dros air yr ARGLWYDD fy NUW, i wneu- g 1 Bren.
thur na bychan na mawr. 22. 14. 2 Chron. 18.
19 Ond, attolwg, yn awr, arhoswch chwi- 13.
thau yma y nos hon; fel y caffwyf wybod
beth a ddywedo'r ARGLWYDD wrthyf yn
ychwaneg.
20 A daeth Duw at Balaam *liw* nos, a
dywedodd wrtho, Os i'th gyrchu di y daeth
y dynion hyn, cyfod, dos gyd â hwynt:
ac er hynny [h] y peth a lefarwyf wrthyt, h Ad. 35.
hynny a wnai di. Pen. 23.
21 Yna y cododd Balaam yn fore, ac a 12, 26.
gyfrwyodd ei asen, ac a aeth gyd â thywys-
ogion Moab.
22 ¶ A dig Duw a ennynodd, am iddo ef
fyned: ac angel yr ARGLWYDD a safodd
ar y ffordd i'w wrthwynebu ef; ac efe yn
marchogaeth ar ei asen, a'i ddau langc gyd
ag ef.
23 [i] A'r asen a welodd angel yr AR- i 2 Petr 2.
GLWYDD yn sefyll ar y ffordd, a'i gleddyf 16.
yn noeth yn ei law: a chiliodd yr asen allan Jud. 11. Edrych
o'r ffordd, ac a aeth i'r maes: a tharawodd 2 Bren. 6.
Balaam yr asen, i'w throi i'r ffordd. 17.
24 Ac angel yr ARGLWYDD a safodd Dan. 10. 7. Act. 22. 9.
ar lwybr y gwinllannoedd, *a* magwyr o'r
ddeutu.
25 Pan welodd yr asen angel yr AR-
GLWYDD, yna hi a ymwasgodd at y fag-
wyr; ac a wasgodd droed Balaam wrth y
fagwyr: ac efe a'i tarawodd hi eilwaith.
26 Ac angel yr ARGLWYDD a aeth ym
mhellach; ac a safodd mewn lle cyfyng, lle
nid *oedd* ffordd i gilio tu a'r tu deheu na'r
tu aswy.
27 A gwelodd yr asen angel yr AR-
GLWYDD; ac a orweddodd dan Balaam:
yna'r ennynodd dig Balaam; ac efe a da-
rawodd yr asen â ffon.
28 A'r ARGLWYDD a agorodd safn yr
asen; a hi a ddywedodd wrth Balaam, Beth
a wneuthum it', pan darewaist fi'r tair
gwaith hyn?
29 A dywedodd Balaam wrth yr asen, Am
it' fy siommi. O na byddai gleddyf yn fy
llaw; canys yn awr y'th laddwn.
30 A dywedodd yr asen wrth Balaam,
Onid myfi *yw* dy asen, yr hon y marchogaist ‡ Neu, *ydwyt,*
arnaf er pan ‡ *ydwyf* eiddot ti, hyd y dydd *hyd, &c.*
hwn? gan arfer a arferais i wneuthur it' fel k Edrych
hyn? Ac efe a ddywedodd, Na ddo. Gen. 21.
31 A'r ARGLWYDD [k] a agorodd lygaid 19. Luc 24.
Balaam; ac efe a welodd angel yr AR- 16, 31.

GLWYDD yn sefyll ar y ffordd, a'i gleddyf
noeth yn ei law: ac efe a ogwyddodd ei
ben, ac a ymgrymmodd ar ei wyneb.
32 A dywedodd angel yr ARGLWYDD
wrtho, Pa ham y tarewaist dy asen y tair
gwaith hyn? Wele, mi a ddeuthum allan
yn wrthwynebydd *i ti:* canys cyfeiliornus
yw'r ffordd hon yn fy ngolwg.
33 A'r asen a'm gwelodd; ac a giliodd
rhagof y tair gwaith hyn: oni buasai iddi
gilio rhagof, diau yn awr y lladdaswn di, ac
a'i gadawswn hi yn fyw.
34 A Balaam a ddywedodd wrth angel
yr ARGLWYDD, Pechais; oblegid ni wydd-
wn dy fod di yn sefyll ar y ffordd yn fy er-
byn: ac yr awr hon, os drwg *yw* yn dy
olwg, dychwelaf adref.
35 A dywedodd angel yr ARGLWYDD
wrth Balaam, Dos gyd â'r dynion; a'r gair
a lefarwyf wrthyt, hynny yn unig a leferi.
Felly Balaam a aeth gyd â thywysogion
Balac.
36 ¶ A chlybu Balac ddyfod Balaam: ac
efe a aeth i'w gyfarfod ef i ddinas Moab;
yr hon *sydd* ar ardal Arnon, yr hon *sydd* ar
gwrr eithaf y terfyn.
37 A dywedodd Balac wrth Balaam, Onid
gan anfon yr anfonais attat i'th gyrchu? pa
ham na ddeuit ti attaf? Oni allwn i dy
wneuthur di yn anrhydeddus?
38 A dywedodd Balaam wrth Balac, Wele,
mi a ddeuthum attat: gan allu a allaf fi
lefaru dim yr awr hon? y gair a osodo
DUW yn fy ngenau, hwnnw a lefaraf fi.
39 A Balaam a aeth gyd â Balac; a hwy
† Neu, *Heolydd.* a ddaethant i gaer † Husoth.
40 A lladdodd Balac wartheg a defaid;
ac a anfonodd *ran* i Balaam, ac i'r tywyso-
gion *oedd* gyd ag ef.
41 A'r bore Balac a gymmerodd Balaam,
ac a aeth ag ef i fynu i uchelfeydd Baal; fel
y gwelai oddi yno *gwrr* eithaf y bobl.

Sul 2 gwedi'r Pasg, B. Chweir. 17. P.

## PEN. XXIII.

1, 13, 28 *Offrwm Balac.* 7, 18 *Dammeg Balaam.*

1452. A Dywedodd Balaam wrth Balac, Adei-
lada i mi yma saith allor; a darpara i
mi yma saith o fustych, a saith o hyrddod.
2 A gwnaeth Balac megis ag y dywedodd
Balaam. Ac offrymmodd Balac a Balaam
fustach a hwrdd ar *bob* allor.
3 A dywedodd Balaam wrth Balac, Saf
di wrth dy boeth-offrwm; myfi a af *oddi*
*yma:* ond odid daw'r ARGLWYDD i'm cyf-
arfod; a mynegaf it' pa air a ddangoso efe
† Neu, *i'r naill du.* i mi. Ac efe a aeth † i le uchel.
4 A chyfarfu DUW â Balaam; a dywed-
odd *Balaam* wrtho, Darperais saith allor, ac
aberthais fustach a hwrdd ar *bob* allor.
5 A gosododd yr ARGLWYDD air yngen-
au Balaam; ac a ddywedodd, Dychwel at
Balac, a dywed fel hyn.
6 Ac efe a ddychwelodd atto. Ac wele,
efe a holl dywysogion Moab yn sefyll wrth
ei boeth-offrwm.
7 Ac efe a gymmerodd ei ddammeg, ac a
‡ *Aram.* ddywedodd, O ‡ Siria y cyrchodd Balac
brenhin Moab fyfi, o fynyddoedd y dwy-
rain, *gan ddywedyd,* Tyred, melldithia i mi
Jacob; tyred, a ffieiddia Israel.
8 Pa fodd y rhegaf yr hwn ni regodd
DUW? a pha fodd y ffieiddiaf *yr hwn* ni
ffieiddiodd yr ARGLWYDD?
a Deut. 33. 28. 9 Canys o ben y creigiau y gwelaf ef, ac
o'r bryniau yr edrychaf arno: wele, [a] bobl
yn preswylio eu hun, ac heb eu cyfrif yng-
hyd â'r cenhedloedd.
10 [b] Pwy a rif lwch Jacob, a rhifedi ped- b Gen. 13.
waredd *ran* Israel? Marw a § wnelwyf [c] o 6.
farwolaeth yr union, a bydded fy niwedd § Heb. *wnel fy*
fel yr eiddo yntau. *enaid,*
11 A dywedodd Balac wrth Balaam, Beth *neu, fy*
a wnaethost i mi? I regu fy ngelynion y'th *einioes.*
gymmerais; ac wele, gan fendithio ti a'u c Psal. 116.
benditbiaist. 15.
12 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd,
Onid yr hyn a osododd yr ARGLWYDD yn
fy ngenau, sy raid i mi edrych ar ei ddy-
wedyd?
13 A dywedodd Balac wrtho ef, Tyred,
attolwg, gyd â myfi i le arall, lle y gwel-
ych hwynt: oddi yno y cai weled eu cwrr
eithaf hwynt yn unig, ac ni chai eu gweled
hwynt i gyd: rhega dithau hwynt i mi oddi
yno.
14 ¶ Ac efe a'i dug ef i faes ‖ amlwg, ‖ *Sophim.*
i ben † bryn; ac a adeiladodd saith allor, † *Pisgah.*
ac a offrymmodd fustach a hwrdd ar *bob*
allor.
15 Ac a ddywedodd wrth Balac, Saf yma
wrth dy boeth-offrwm, a mi a af accw i
gyfarfod *â'r ARGLWYDD.*
16 A chyfarfu'r ARGLWYDD â Balaam;
ac [d] a osododd air yn ei enau ef, ac a ddy- d Pen. 22.
wedodd, Dychwel at Balac, a dywed fel 35.
hyn.
17 Ac efe a ddaeth atto. Ac wele, efe yn
sefyll wrth ei boeth-offrwm, a thywys-
ogion Moab gyd ag ef. A dywedodd
Balac wrtho, Beth a ddywedodd yr AR-
GLWYDD?
18 Yna y cymmerodd efe ei ddammeg,
ac a ddywedodd, Cyfod, Balac, a gwrando;
mab Sippor, clust-ymwrando â mi.
19 [e] Nid dyn *yw* DUW, i ddywedyd cel- e 1 Sam. 15.
wydd; na mab dyn, i edifarhâu: a ddywed- 29.
odd efe, ac ni's cyflawna? a lefarodd efe, Mal. 3. 6.
ac oni chywira? Rhuf. 11. 29.
20 Wele, cymmerais *arnaf* fendithio; a Iago 1. 17.
bendithiodd efe, ac ni throaf fi hynny yn
ei ol.
21 Ni wel efe anwiredd yn Jacob, ac ni
wel drawsedd yn Israel: yr ARGLWYDD
ei DDUW *sydd* gyd ag ef, ac *y mae* udgorn-
floedd brenhin yn eu mysg hwynt.
22 [f] DUW a'u dug hwynt allan o'r Aipht: f Pen. 24.
megis nerth unicorn *sydd* iddo. 8.
23 Canys nid *oes* swyn ‡ yn erbyn Jacob, ‡ *yn Jacob.*
na dewiniaeth yn erbyn Israel: y pryd *hyn*
y dywedir am Jacob, ac am Israel, Beth a
wnaeth DUW!
24 Wele, y bobl a gyfyd [g] fel llew mawr, g Gen. 49.
ac fel llew ieuangc yr ymgyfyd: ni orwedd 9.
nes bwytta o'r ysglyfaeth, ac yfed gwaed y
lladdedigion.
25 ¶ A dywedodd Balac wrth Balaam,
Gan regu na rega ef mwy; gan fendithio
na fendithia ef chwaith.
26 Yna'r attebodd Balaam, ac a ddy-
wedodd wrth Balac, Oni fynegais it', gan
ddywedyd, [h] Yr hyn oll a lefaro'r AR- h 1 Bren.
GLWYDD, hynny a wnaf fi? 22. 14.
27 ¶ A dywedodd Balac wrth Balaam,
Tyred, attolwg, mi a'th ddygaf i le arall:
ond odid boddlon fydd gan DDUW i ti ei
regu ef i mi oddi yno.
28 A Balac a ddug Balaam i ben Peor, yr
hwn sydd yn edrych § tu a'r diffaethwch. § *tu a Jesi-mon.*
29 A dywedodd Balaam wrth Balac, Ad-
eilada i mi yma saith allor; a darpara i mi
yma saith bustach, a saith hwrdd.

30 A gwnaeth Balac megis y dywedodd Balaam; ac a offrymmodd fustach a hwrdd ar *bob* allor.

## PEN. XXIV.

Sul 2 ar ol y Pasg, B. Chwefr. 18. B.

1 *Balaam yn rhoi heibio ddewiniaeth, ac yn prophwydo dedwyddwch i Israel.* 10 *Balac mewn digter yn ei anfon ef ymaith.* 15 *Yntau yn prophwydo am seren Jacob, a dinystr rhai gwledydd.*

1452.

1 PAN welodd Balaam mai da oedd yngolwg yr ARGLWYDD fendithio Israel; nid aeth efe, megis [a] o'r blaen, i † gyrchu dewiniaeth; ond gosododd ei wyneb tu a'r anialwch.

2 A chododd Balaam ei lygaid: ac wele, Israel *yn pebyllio* yn ol ei lwythau: a daeth yspryd DUW arno ef.

3 [b] Ac efe a gymmerodd ei ddammeg, ac a ddywedodd, Balaam mab Beor a ddywed, a'r gwr ‡ a agorwyd ei lygaid a ddywedodd;

4 Gwrandawydd geiriau DUW a ddywedodd, yr hwn a welodd weledigaeth yr Hollalluog, [c] yr hwn a syrthiodd, ac a agorwyd *ei* lygaid:

5 Mor hyfryd yw dy bebyll di, O Jacob! dy gyfaneddau di, O Israel!

6 Ymestynnant fel dyffrynoedd, ac fel gerddi wrth afon, fel aloewŷdd [d] a blannodd yr ARGLWYDD, fel y cedrwŷdd wrth ddyfroedd.

7 Efe a dywallt ddwfr o'i ystenau, a'i had *fydd* mewn dyfroedd lawer, a'i frenhin a ddyrchefir yn uwch nag Agag, a'i frenhiniaeth a ymgyfyd.

8 [e] DUW a'i dug ef allan o'r Aipht; megis nerth unicorn *sydd* iddo: efe a fwytty'r cenhedloedd ei elynion, ac a ddryllia eu hesgyrn, ac â'i saethau y gwana efe *hwynt*.

9 [f] Efe a grymma, *ac* a orwedd fel llew, ac fel llew mawr: pwy a'i cyfyd ef? [g] Bendigedig *fydd* dy fendithwŷr, a melldigedig dy felldithwŷr.

10 ¶ Ac ennynodd dig Balac yn erbyn Balaam; ac efe [h] a darawodd ei ddwylaw ynghŷd. Dywedodd Balac hefyd wrth Balaam, I regu fy ngelynion y'th gyrchais; ac wele, ti gan fendithio a'*u* bendithiaist y tair gwaith hyn.

11 Am hynny yn awr ffo i'th fangre dy hun: dywedais, gan anrhydeddu y'th anrhydeddwn; ac wele, attaliodd yr ARGLWYDD di oddi wrth anrhydedd.

12 A dywedodd Balaam wrth Balac, Oni leferais wrth dy genhadau a anfonaist attaf, gan ddywedyd,

13 [i] Pe rhoddai Balac i mi arian ac aur lonaid ei dŷ, ni allwn droseddu gair yr ARGLWYDD, i wneuthur da neu ddrwg o'm meddwl fy hun: yr hyn a lefaro'r ARGLWYDD, hynny a lefaraf fi?

14 Ond yr awr hon, wele, fi yn myned at fy mhobl: tyred, [k] mi a fynegaf i ti yr hyn a wna'r bobl hyn i'th bobl di yn y dyddiau diweddaf.

15 ¶ Ac efe a gymmerth ei ddammeg, ac a ddywedodd, Balaam mab Beor a ddywed, a'r gwr a agorwyd ei lygaid a ddywed;

16 Dywedodd gwrandawydd geiriau DUW, gwybodydd gwybodaeth y Goruchaf, a gweledydd weledigaeth yr Hollalluog, yr hwn a syrthiodd, ac yr agorwyd ei lygaid:

17 Gwelaf ef, ac nid yr awr hon; edrychaf arno, ond nid o agos: daw [l] seren o Jacob, a chyfyd [m] teyrn-wialen o Israel, ac a ddryllia § gonglau Moab, ac a ddinystria holl feibion Seth.

a Pen. 23. 3, 15. † Heb. *gyfarfod* â. b Pen. 23. 7, 18. ‡ Heb. *oedd lygad gauad*. c Edrych 1 Sam. 19. 24. Ezec. 1. 28. Dan. 8. 18. a 10. 16. Dat. 1. 17. d Psal. 104. 16. e Pen. 23. 22. f Gen. 49. 9. g Gen. 12. 3. a 27. 29. h Ezec. 21. 14, 17. a 22. 13. i Pen. 22. 18. k Mic. 6. 5. Dat. 2. 14. l Mat. 2. 2. m Psal. 110. 2. § Neu, *dywysogion*. 2 Sam. 8. 2.

18 Ac [n] Edom a feddiennir, Seir hefyd a berchenogir *gan* ei elynion; ac Israel a wna rymmusder.

19 Ac arglwyddiaetha *un* o Jacob, ac a ddinystria'r gweddill o'r ddinas.

20 A phan edrychodd ar Amalec, efe a gymmerodd ei ddammeg, ac a ddywedodd, ‖ Dechreu'r cenhedloedd *yw* Amalec; a'i ddiwedd *fydd* † darfod am dano byth.

21 Edrychodd hefyd ar y Ceneaid; ac a gymmerodd ei ddammeg, ac a ddywedodd, Cadarn *yw* dy annedd; gosod yr wyt dy nyth yn y graig.

22 Anrheithir y ‡ Ceneaid, § hyd oni 'th gaethiwo Assur.

23 Ac efe a gymmerodd ei ddammeg, ac a ddywedodd, Och! pwy fydd byw pan wnelo DUW hyn!

24 Llongau hefyd o derfynau [o] Cittim a orthrymmant Assur, ac a orthrymmant Eber; ac yntau a dderfydd am dano byth.

25 A chododd Balaam ac a aeth, ac [p] a ddychwelodd adref: a Balac a aeth hefyd i'w ffordd yntau.

n 2 Sam. 8. 14. Psal. 60. 8, 9, 12. ‖ Y cyntaf o'r cenhedloedd a ryfelodd yn erbyn Israel, Exod. 17. † Neu, *hyd ddinystr*. 1 Sam. 15. ‡ Heb. *Cain*. § Neu, *pa hyd fydd hyd*, &c. o Gen. 10. 4. Dan. 11. 30. p Edrych Pen. 31. 8.

## * PEN. XXV.

Sul 2 ar ol y Pasg, P. Chwefr. 18. P.

1 *Israel yn Sittim yn godinebu, ac yn addoli delwau.* 6 *Phinees yn lladd Zimri a Chozbi.* 10 *Duw o herwydd hynny yn rhoddi iddo ef offeiriadaeth dragywyddol.* 16 *Rhaid yw blino'r Midianiaid.*

1452.

1 A Thrigodd Israel [a] yn Sittim; a [b] dechreuodd y bobl odinebu gyd â merched Moab.

2 A [c] galwasant y bobl i [d] aberthau eu duwiau hwynt: a bwyttaodd y bobl, ac addolasant eu duwiau hwynt.

3 Ac ymgyfeillodd Israel â Baal-Peor: ac ennynodd digofaint yr ARGLWYDD yn erbyn Israel.

4 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Moses, [e] Cymmer holl bennaethiaid y bobl, a chrog hwynt i'r ARGLWYDD ar gyfer yr haul; fel y dychwelo llid digofaint yr ARGLWYDD oddi wrth Israel.

5 A dywedodd Moses wrth [f] farnwŷr Israel, [g] Lleddwch bob un ei ddynion, y rhai a ymgyfeillasant â Baal-Peor.

6 ¶ Ac wele, gwr o feibion Israel a ddaeth, ac a ddygodd Midianees at ei frodyr, yngolwg Moses, ac yngolwg holl gynnulleidfa meibion Israel, a hwynt yn wylo *wrth* ddrws pabell y cyfarfod.

7 A gwelodd [h] Phinees [i] mab Eleazar, mab Aaron yr offeiriad; ac a gododd o ganol y gynnulleidfa, ac a gymmerodd wayffon yn ei law;

8 Ac a aeth ar ol y gwr *o* Israel i'r babell; ac a'u gwanodd hwynt ill dau, *sef* y gwr o Israel, a'r wraig trwy ei cheudod. Ac attaliwyd y bla oddi wrth feibion Israel.

9 [k] A bu feirw o'r bla bedair mil ar hugain.

10 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

11 [l] Phinees mab Eleazar, mab Aaron yr offeiriad, a drodd fy nigter oddi wrth feibion Israel (pan eiddigeddodd efe drosof fi yn eu mysg) fel na ddifethais feibion Israel yn fy eiddigedd.

12 Am hynny dywed, [m] Wele fi yn rhoddi iddo fy nghyfammod o heddwch.

13 A bydd iddo ef, ac [n] i'w had ar ei ol ef, ammod o offeiriadaeth dragywyddol; am iddo eiddigeddu dros ei DDUW, a gwneuthur cymmod dros feibion Israel.

a Pen. 30. 16. a 33. 49. b 1 Cor. 10. 8. c Jos. 22. 17. Psalm 106. 28. Hos. 9. 10. d Exod. 34. 15. 1 Cor. 10. 20. e Deut. 4. 3. Jos. 22. 17. f Exod. 18. 21, 25. g Exod. 32. 27. h Psal. 106. 30. 1 Mac. 2. 54. i Exod. 6. 25. k 1 Cor. 10. 8. l Psal. 106. 30. m Mal. 2. 4, 5. Eccl. 45. 24. 1 Mac. 2. 54. n Edrych 1 Chron. 6. 4, &c.

14 Ac enw'r gwr o Israel, yr hwn a ladd-
wyd, *sef* yr hwn a laddwyd gyd â'r Midian-
ees, *oedd* Zimri, mab Salu, pennaeth tŷ *ei*
dad, o *lwyth* Simeon.
15 Ac enw'r wraig o Midian a laddwyd,
o Pen. 31. 8. Jos. 13. 21. *oedd* Cozbi, merch [o] Sur: pencenedl o dŷ
mawr ym Midian *oedd* hwn.
16 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, gan ddywedyd,
p Pen. 31. 2. 17 [p] Blina'r Midianiaid, a lleddwch
hwynt:
18 Canys blin ydynt arnoch trwy eu di-
chellion a ddychymmygasant i'ch erbyn, yn
achos Peor, ac yn achos Cozbi, merch ty-
wysog Midian, eu chwaer hwynt, yr hon a
laddwyd yn nydd y bla, o achos Peor.

## PEN. XXVI.

1 *Cymmeryd cyfrif o holl Israel yn nyffryn Moab. 52 Cyfraith i gyfrannu etifeddiaeth y tir rhyngthynt hwy. 57 Teuluoedd a rhifedi'r Lefiaid. 63 Na adawsid un o'r rhai a rifesid yn Sinai, ond Caleb a Josua.*

1452. A Bu, wedi'r bla, lefaru o'r ARGLWYDD
wrth Moses, ac wrth Eleazar fab Aaron
yr offeiriad, gan ddywedyd,
a Exod. 30. 12. a 38. 25, 26. Pen. 1. 2. 2 [a] Cymmerwch nifer holl gynnulleidfa
meibion Israel, o fab ugain mlwydd ac uch-
od, trwy dŷ eu tadau, pob un a allo fyned
i ryfel yn Israel.
3 A llefarodd Moses ac Eleazar yr offeiriad
wrthynt yn rhosydd Moab, wrth yr Iorddon-
en, *ar gyfer* Jericho, gan ddywedyd,
4 *Rhifwch y bobl*, o fab ugain mlwydd ac
b Pen. 1. 1. uchod; megis [b] y gorchymynodd yr AR-
GLWYDD wrth Moses, a meibion Israel, y
rhai a ddaethant allan o dir yr Aipht.
c Gen. 46. 8. Exod. 6. 14. 1 Chron. 5. 1. 5 ¶ [c] Reuben, cyntaf-anedig Israel. Meib-
ion Reuben; *o* Hanoch, tylwyth yr Hanoch-
iaid: o Phalu, tylwyth y Phaliaid:
6 O Hesron, tylwyth yr Hesroniaid: o
Carmi, tylwyth y Carmiaid.
7 Dyma dylwyth y Reubeniaid: a'u rhif-
edigion *oedd* dair mil a deugain a saith gant
a deg ar hugain.
8 A meibion Phalu *oedd* Eliab.
9 A meibion Eliab; Nemuel, a Da-
d Pen. 16. 2. than, ac Abiram. [d] Dyma'r Dathan ac
Abiram, rhai enwog yn y gynnulleidfa, y
rhai a ymgynhenasant yn erbyn Moses ac
yn erbyn Aaron ynghynnulleidfa Corah, pan
ymgynhenasant yn erbyn yr ARGLWYDD.
10 Ac agorodd y ddaear ei safn, ac a'u
llyngcodd hwynt, a Chorah hefyd, pan fu
farw y gynnulleidfa, pan ddifaodd y tân
e Edrych 2 Petr 2. 6. ddengwr a deugain a dau gant: a [e] hwy a
aethant yn arwydd.
11 Ond meibion Corah ni buant feirw.
12 ¶ Meibion Simeon, wrth eu tylwythau.
f Gen. 46. 10, *Jemuel*. O [f] Nemuel, tylwyth y Nemueliaid: o Ja-
g 1 Chron. 4. 24, *Jarib*. min, tylwyth y Jaminiaid: o [g] Jachin, ty-
lwyth y Jachiniaid:
h Gen. 46. 10, *Sohar*. 13 O [h] Zerah, tylwyth y Zerahiaid: o
Saul, tylwyth y Sauliaid.
14 Dyma dylwyth y Simeoniaid; dwy fil
ar hugain a dau gant.
15 ¶ Meibion Gad, wrth eu tylwythau.
i Gen. 46. 16, *Siphion*. O [i] Sephon, tylwyth y Sephoniaid: o Haggi,
tylwyth yr Haggiaid: o Suni, tylwyth y
Suniaid:
† Neu, *Ezbon*. 16 O † Ozni, tylwyth yr Ozniaid: o Eri
tylwyth yr Eriaid:
k Gen. 46. 16, *Arodi*. 17 O [k] Arod, tylwyth yr Arodiaid: o
Areli, tylwyth yr Areliaid.
18 Dyma deuluoedd meibion Gad, dan eu
rhif; deugain mil a phum cant.

19 ¶ [l] Meibion Judah *oedd*, Er ac Onan: a l Gen. 38.
bu farw Er ac Onan yn nhir Canaan. 2, &c. a 46
20 A [m] meibion Judah, wrth eu teuluoedd. 12.
O Selah, tylwyth y Selaniaid: o Phares, m 1 Chron
tylwyth y Pharesiaid: o Zerah, tylwyth y 2. 3.
Zerahiaid.
21 A meibion Phares oedd; o Hesron, ty-
lwyth yr Hesroniaid: o Hamul, tylwyth yr
Hamuliaid.
22 Dyma dylwyth Judah, dan eu rhif;
onid pedair mil pedwar ugain mil a phum
cant.
23 ¶ [n] Meibion Issachar, wrth eu tylwyth- n Gen. 46.
au, *oedd*; o Tola, tylwyth y Tolaiaid: o 13.
‡ Puah, tylwyth y Puhiaid: 1 Chron. 7. 1.
24 O § Jasub, tylwyth y Jasubiaid: o ‡ Neu,
Simron, tylwyth y Simroniaid. *Phufah.*
25 Dyma deuluoedd Issachar, dan eu rhif; § Neu, *Job.*
pedair mil a thrugain mil a thri chant.
26 ¶ [o] Meibion Zabulon, wrth eu teulu- o Gen. 46.
oedd, *oedd*; o Sered, tylwyth y Sardiaid: o 14.
Elon, tylwyth yr Eloniaid: o Jaleel, ty-
lwyth y Jaleeliaid.
27 Dyma deuluoedd y Zabuloniaid, dan eu
rhif; tri ugain mil a phum cant.
28 ¶ [p] Meibion Joseph, wrth eu teulu- p Gen. 46.
oedd, *oedd*; Manasseh, ac Ephraim. 20.
29 Meibion Manasseh *oedd*; o [q] Machir, q Jos. 17.
tylwyth y Machiriaid: a Machir a genhedl- 1.
odd Gilead: o Gilead *y mae* tylwyth y Gi-
leadiaid.
30 Dyma feibion Gilead. *O* [r] Jeezer, r A elwir
tylwyth y Jeezeriaid: o Helec, tylwyth yr *Abiezer*,
Heleciaid: Jos. 17. 2.
31 Ac *o* Asriel, tylwyth yr Asrieliaid: ac Barn. 6. 11, 24, 34.
*o* Sechem, tylwyth y Sechemiaid:
32 Ac *o* Semida, tylwyth y Semidiaid: ac
*o* Hepher, tylwyth yr Hepheriaid.
33 ¶ A [s] Salphaad mab Hepher nid oedd s Pen. 27.
iddo feibion, onid merched: ac enwau 1. a 36. 11
merched Salphaad *oedd*, Malah, a Noah,
Hoglah, Milcah, a Thirsah.
34 Dyma dylwyth Manasseh; a'u rhife-
digion *oedd* ddeuddeng mil a deugain a saith
gant.
35 ¶ Dyma feibion Ephraim, wrth eu teu-
luoedd. O Suthelah, tylwyth y Sutheliaid:
o [t] Becher, tylwyth y Becheriaid: o Tahan, t 1 Chron.
tylwyth y Tahaniaid. 7. 10,
36 A dyma feibion Suthelah: o Eran, *Bered.*
tylwyth yr Eraniaid.
37 Dyma dylwyth meibion Ephraim, trwy
eu rhifedigion; deuddeng mil ar hugain a
phum cant. Dyma feibion Joseph, wrth eu
teuluoedd.
38 ¶ [u] Meibion Benjamin, wrth eu teu- u 1 Chron.
luoedd, *oedd*; o Bela, tylwyth y Belaiaid: o 7. 6.
Asbel, tylwyth yr Asbeliaid: o [x] Ahiram, x Gen. 46.
tylwyth yr Ahiramiaid: 21, *Ehi.*
39 O [y] Sephupham, tylwyth y Sephu- 1 Chron. 8. 1, *Aharah.*
phamiaid: o Hupham, tylwyth yr Hu- y Gen. 46.
phamiaid. 21, *Muppim a Huppim.*
40 A meibion Bela oedd, [z] Ard, a Naa-
man: *o Ard yr ydoedd* tylwyth yr Ardiaid: z 1 Chron.
o Naaman, tylwyth y Naamaniaid. 8. 3, *Addar.*
41 Dyma feibion Benjamin, yn ol eu
teuluoedd: dan eu rhif *yr oeddynt* yn bùm
mil a deugain a chwe chant.
42 ¶ [a] Dyma feibion Dan, yn ol eu teu- a Gen. 46.
luoedd. O ‖ Suham, tylwyth y Suhamiaid. 23.
Dyma dylwyth Dan, yn ol eu teuluoedd. ‖ Neu,
43 A holl dylwyth y Suhamiaid *oedd*, yn *Husim.*
ol eu rhifedigion, bedair mil a thrugain a
phedwar cant.
44 ¶ [b] Meibion Aser, wrth eu teuluoedd, b Gen. 46. 17.
*oedd*; o Jimnah, tylwyth y Jimniaid: o Jesui, 1 Chron. 7. 30.

tylwyth y Jesuiaid: o Beriah, tylwyth y
Beriaid.
45 O feibion Beriah, *yr oedd*; o Heber,
tylwyth yr Heberiaid: o Malciel, tylwyth y
Malcieliaid.
46 Ac enw merch Aser *ydoedd* Sarah.
47 Dyma deuluoedd meibion Aser, yn ol
eu rhifedigion; tair mil ar ddeg a deugain a
phedwar cant.
[c] Gen. 46. 48 ¶ [c] Meibion Naphtali, wrth eu teulu-
24. oedd, *oedd*; o Jaseel, tylwyth y Jaseeliaid:
1 Chron. 7. o Guni, tylwyth y Guniaid:
13.
[d] 1 Chron. 49 O Jeser, tylwyth y Jeseriaid: o [d] Sì-
7. 13, lem, tylwyth y Sìlemiaid.
*Sallum.* 50 Dyma dylwyth Naphtali, yn ol eu
teuluoedd, dan eu rhif; pum mil a deugain
a phedwar cant.
[e] Edrych 51 [e] Dyma rifedigion meibion Israel;
Pen. 1. 46. chwe chan mil, a mil, saith gant a deg ar
hugain.
52 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, gan ddywedyd,
53 I'r rhai hyn y rhennir y tir yn etifedd-
iaeth, yn ol rhifedi 'r enwau.
[f] Pen. 33. 54 [f] I lawer y chwanegi'r etifeddiaeth, ac
54. i ychydig prinhà'r etifeddiaeth: rhodder i
bob un ei etifeddiaeth yn ol ei rifedigion.
[g] Pen. 33. 55 Etto [g] wrth goelbren y rhennir y tir:
54. wrth enwau llwythau eu tadau yr etifedd-
Jos. 11. 23. ant.
a 14. 2. 56 Wrth farn y coelbren y rhennir ei eti-
feddiaeth, rhwng llawer ac ychydig.
[h] Gen. 46. 57 ¶ [h] A dyma rifedigion y Lefiaid, wrth
11. eu teuluoedd. O Gerson, tylwyth y Gerson-
Exod. 6. iaid: o Cohath, tylwyth y Cohathiaid: o
16, 17, 18, Merari, tylwyth y Merariaid.
19. 58 Dyma dylwythau'r Lefiaid. Tylwyth
1 Chron. 6. y Libniaid, tylwyth yr Hebroniaid, tylwyth
1, 16. y Mahliaid, tylwyth y Musiaid, tylwyth y
Corathiaid: Cohath hefyd a genhedlodd
Amram.
[i] Exod. 2. 59 Ac enw gwraig Amram *oedd* [i] Joche-
1, 2. a 6. bed, merch Lefi, yr hon a aned i Lefi yn yr
20. Aipht: a hi a ddug i Amram, Aaron a
Moses, a Miriam eu chwaer hwynt.
60 A aned i Aaron, Nadab ac Abihu,
Eleazar ac Ithamar.
[k] Lef. 10. 61 A bu farw [k] Nadab ac Abihu, pan
2. offrymmasant dàn dïeithr ger bron yr AR-
Pen. 3. 4. GLWYDD.
1 Chron.
24. 2. 62 [l] A'u rhifedigion oedd dair mil ar
[l] Edrych hugain; *sef* pob gwrryw o fab misyriad ac
Pen. 3. 39. uchod: canys ni chyfrifwyd hwynt ym mysg
meibion Israel, am na roddwyd iddynt eti-
feddiaeth ym mhlith meibion Israel.
63 ¶ Dyma rifedigion Moses ac Eleazar
yr offeiriad, y rhai a rifasant feibion Israel
yn rhosydd Moab, wrth yr Iorddonen, *ar*
*gyfer* Jericho.
[m] Pen. 1. 64 [m] Ac yn y rhai hyn nid oedd un o rif-
Deut. 2. edigion Moses ac Aaron yr offeiriad, pan
14, 15. rifasant feibion Israel yn anialwch Sinai.
65 Canys dywedasai'r ARGLWYDD am
[n] Pen. 14. danynt, [n] Gan farw y byddant feirw yn yr
28, 29. anialwch. Ac ni adawsid o honynt un, ond
1 Cor. 10. Caleb mab Jephunneh, a Josua mab Nun.
5, 6.

## PEN XXVII.

Chwefr. 1 *Merched Salphaad yn ceisio etifeddiaeth.*
19. B. 6 *Cyfraith etifeddiaethau.* 12 *Moses, wedi*
*ei rybuddio am ei farwolaeth, yn ymbil am*
*gael un yn ei le.* 18 *Apwyntio Josua i gael*
1452. *ei le ef.*
[a] Pen. 26. YNA y daeth merched [a] Salphaad, mab
33. a 39. 1, Hepher, mab Gilead, mab Machir,
11. mab Manasseh, o dylwyth Manasseh mab
Jos. 17. 3.

Joseph (a dyma enwau ei ferched ef; Ma-
lah, Noah, Hoglah, Milcah, a Thirsah)
2 Ac a safasant ger bron Moses, a cher
bron Eleazar yr offeiriad, a cher bron y
pennaethiaid, a'r holl gynnulleidfa, *wrth*
ddrws pabell y cyfarfod, gan ddywedyd,
3 Ein tad ni [b] a fu farw yn yr anialwch; [b] Pen. 14.
ac nid oedd efe ym mysg y gynnulleidfa 35. a 26.
a ymgasglodd yn erbyn yr ARGLWYDD 64, 65.
[c] ynghynnulleidfa Corah, ond yn ei bech- [c] Pen. 16.
od ei hun y bu farw; ac nid oedd meibion 2.
iddo.
4 Pa ham y † tynnir ymaith enw ein † Heb.
tad ni o fysg ei dylwyth, am nad oes iddo *lleihêir.*
fab? [d] Dod i ni feddiant ym mysg brodyr [d] Jos. 17.
ein tad. 4.
5 A dug Moses eu hawl hwynt ger bron
yr ARGLWYDD.
6 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, gan ddywedyd,
7 Y mae merched Salphaad yn dywedyd
yn union: [e] gan roddi dyro iddynt fedd- [e] Pen. 36.
iant etifeddiaeth ym mysg brodyr eu tad: 2.
trosa iddynt etifeddiaeth eu tad.
8 Llefara hefyd wrth feibion Israel, gan
ddywedyd, Pan fyddo marw un, ac heb fab
iddo, troswch ei etifeddiaeth ef i'w ferch.
9 Ac oni *bydd* merch iddo, rhoddwch ei
etifeddiaeth ef i'w frodyr.
10 Ac oni *bydd* brodyr iddo; yna rhodd-
wch ei etifeddiaeth ef i frodyr ei dad.
11 Ac oni *bydd* brodyr i'w dad; yna
rhoddwch ei etifeddiaeth ef i'w gâr nesaf
iddo o'i dylwyth; a meddianned *hwnnw*
hi: a bydded *hyn* i feibion Israel yn ddeddf
farnedig, megis y gorchymynodd yr AR-
GLWYDD wrth Moses. [f] Deut. 3.
12 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth 27. a 32. 49.
Moses, [f] Dring i'r mynydd Abarim hwn, a a 34. 1.
gwel y tir a roddais i feibion Israel. [g] Pen. 20.
13 Ac wedi it' ei weled, tithau a gesglir at 24, 28. a
dy bobl, fel y casglwyd [g] Aaron dy frawd. 31. 2.
Deut. 10. 6.
14 Canys yn anialwch Sin, wrth gynnen [h] Pen. 20.
y gynnulleidfa, [h] y gwrthryfelasoch yn er- 12, 24
byn fy ngair, i'm sancteiddio wrth y dwfr Deut. 1. 37.
Psalm 106.
yn eu golwg hwynt: dyma [i] ddwfr ‡ cyn- 32.
nen Cades, yn anialwch Sin. [i] Exod.
15 ¶ A llefarodd Moses wrth yr AR- 17. 7.
GLWYDD, gan ddywedyd, ‡ *Meribah.*
16 Gosoded yr ARGLWYDD, [k] Duw ys- [k] Pen. 16.
prydion pob cnawd, un ar y gynnulleidfa, 22.
Heb. 12. 9.
17 [l] Yr hwn a elo allan o'u blaen hwynt, [l] 2 Chron.
ac a ddelo i mewn o'u blaen hwynt, a'r hwn 1. 10.
a'u dygo hwynt allan, ac a'u dygo hwynt i [m] 1 Bren.
mewn; fel na byddo cynnulleidfa'r AR- 22. 17.
GLWYDD [m] fel defaid ni *byddo* bugail arnynt. Zec. 10. 2.
Mat. 9. 36.
18 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Mar. 6. 34.
Moses, Cymmer attat Josua fab Nun, y gwr [n] Gen. 41.
[n] *y mae*'r yspryd ynddo, a [o] gosod dy law 38.
Barn. 3.
arno; 10. a 11.
19 A dod ef i sefyll ger bron Eleazar yr 29.
offeiriad, a cher bron yr holl gynnulleidfa; 1 Sam. 16.
13, 18.
a dod orchymyn iddo ef yn eu gwŷdd [o] Deut. 34.
hwynt. 9.
20 A [p] dod o'th ogoniant di arno ef, fel [p] Edrych
y gwrandawo holl gynnulleidfa meibion Pen. 11.
Israel *arno.* 17, 28.
1 Sam. 10.
21 A [q] safed ger bron Eleazar yr offei- 6, 9.
riad, yr hwn a ofyn *gyngor* drosto ef, [r] yn 2 Bren. 2.
ol barn Urim, ger bron yr ARGLWYDD: 15.
wrth ei air ef yr ant allan, ac wrth ei air [q] Edrych
Jos. 9. 14.
ef y deuant i mewn, efe a holl feibion Barn. 1. 1.
Israel gyd ag ef, a'r holl gynnulleidfa. a 20. 18.
1 Sam. 23.
22 A gwnaeth Moses megis y gorchy- 9. a 30. 7.
mynodd yr ARGLWYDD iddo: ac a gym- [r] Exod. 28.
merodd Josua, ac a barodd iddo sefyll ger 30.

bron Eleazar yr offeiriad, a cher bron yr
holl gynnulleidfa.
23 Ac efe a osododd ei ddwylaw arno,
ac a roddodd orchymyn iddo; megis y llefarasai'r ARGLWYDD trwy law Moses.

## PEN. XXVIII.

1 *Bod yn rhaid cadw offrymmau.* 3 *Y poeth-offrwm gwastadol.* 9 *Yr offrwm ar y Sabboth,* 11 *ar y lloerau newydd,* 16 *ar y Pasg,* 26 *yn nydd y blaen-ffrwythau.*

1452. A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses,
gan ddywedyd,
2 Gorchymyn i feibion Israel, a dywed
wrthynt, Gwyliwch am offrymmu i mi fy
[a] Lef. 3. 11. offrwm, [a] a'm bara i'm hebyrth tanllyd, *o*
a 21. 6, 8. arogl † peraidd, yn eu tymmor.
Mal. 1. 7, 12. 3 A dywed wrthynt, [b] Dyma'r aberth
† Heb. *fy llonyddwch.* tanllyd a offrymmwch i'r ARGLWYDD.
Dau oen blwyddiaid, perffeith-gwbl, ‡ bob
[b] Exod. 29. 38. dydd, yn boeth-offrwm gwastadol.
4 Un oen a offrymmi di y bore, a'r oen
‡ Heb. *mewn diwrnod.* arall a offrymmi di § yn yr hwyr;
5 A [c] degfed *ran* ephah o beilliaid [d] yn
fwyd-offrwm, wedi ei gymmysgu trwy bedwaredd *ran* [e] hìn o olew coethedig.
§ Heb. *rhwng y ddau hwyr.* 6 *Dyma*'r poeth-offrwm gwastadol [f] a
|| wnaed ym mynydd Sinai, yn arogl peraidd,
[c] Exod. 16. 36. Pen. 15. 4. yn aberth tanllyd i'r ARGLWYDD.
7 A'i ddïod-offrwm *fydd* bedwaredd *ran*
[d] Lef. 2. 1. hìn gyd â phob oen: [g] par dywallt y ddïod
[e] Exod. 29. 40. gref yn ddïod-offrwm i'r ARGLWYDD, yn
y cyssegr.
[f] Edrych Amos 5. 25. 8 Yr ail oen a offrymmi yn yr hwyr: megis bwyd-offrwm y bore, a'i ddïod-offrwm,
yr offrymmi ef, yn aberth tanllyd, o arogl
|| Neu, *ordeiniwyd.* peraidd i'r ARGLWYDD.
[g] Exod. 29. 42. 9 ¶ Ac ar y dydd Sabboth, dau oen
blwyddiaid, perffeith-gwbl, a dwy ddegfed
ran o beilliaid yn fwyd-offrwm, wedi ei
gymmysgu trwy olew, a'i ddïod-offrwm.
10 *Dyma* boeth-offrwm pob Sabboth, heb
law'r poeth-offrwm gwastadol, a'i ddïod-offrwm.
[h] 1 Sam. 20. 5. 11 ¶ Ac [h] ar ddechreu eich misoedd yr offrymmwch, yn boeth-offrwm i'r ARGLWYDD,
ddau o fustych ieuaingc, ac un hwrdd, *a*
saith oen blwyddiaid, perffeith-gwbl;
12 A thair degfed ran o beilliaid, yn fwyd-offrwm, wedi ei gymmysgu trwy olew, gyd
â phob bustach; a dwy ddegfed ran o beilliaid, yn fwyd-offrwm, wedi ei gymmysgu
trwy olew, gyd â phob hwrdd;
13 A phob yn ddegfed ran o beilliaid, yn
fwyd-offrwm, wedi ei gymmysgu trwy olew,
gyd â phob oen, yn offrwm poeth o arogl
peraidd, yn aberth tanllyd i'r ARGLWYDD.
14 A'u dïod-offrwm fydd hanner hìn gyd
â bustach, a thrydedd *ran* hìn gyd â hwrdd,
a phedwaredd *ran* hìn o win gyd ag oen.
Dyma boeth-offrwm mis yn ei fis, trwy
fisoedd y flwyddyn.
15 Ac un bwch geifr *fydd* yn bech-aberth
i'r ARGLWYDD: heb law'r gwastadol boeth-offrwm, yr offrymmir ef, a'i ddïod-offrwm.
[i] Exod. 12. 18. 16 ¶ [i] Ac yn y mis cyntaf, ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis, *y bydd* Pasg
Lef. 23. 5. Pen. 9. 3. yr ARGLWYDD.
Deut. 16. 1. 17 Ac ar y pymthegfed dydd o'r mis hwn
*y bydd* yr wyl: saith niwrnod y bwyttâir
bara croyw.
[k] Exod. 12. 16. 18 Ar [k] y dydd cyntaf *y bydd* cymmanfa
Lef. 23. 7. sanctaidd: na wnewch ddim caeth-waith
*ynddo.*
19 Ond offrymmwch yn aberth tanllyd,
ac yn boeth-offrwm i'r ARGLWYDD, ddau
o fustych ieuaingc, ac un hwrdd, a saith
oen blwyddiaid: [l] byddant gennych yn ber- [l] Adn. 31.
ffeith-gwbl. Pen. 29. 8.
20 Eu bwyd-offrwm hefyd *fydd o* beilliaid
wedi ei gymmysgu trwy olew: tair degfed
ran gyd â bustach, a dwy ddegfed ran gyd
â hwrdd, a offrymmwch chwi;
21 Bob yn ddegfed ran yr offrymmwch
gyd â phob oen, o'r saith oen:
22 Ac un bwch yn bech-aberth, i wneuthur cymmod drosoch.
23 Heb law poeth-offrwm y bore, yr hwn
*sydd* boeth-offrwm gwastadol, yr offrymmwch hyn.
24 Fel hyn yr offrymmwch ar *bob* dydd
o'r saith niwrnod, fwyd-aberth tanllyd, o
arogl peraidd i'r ARGLWYDD: heb law'r
poeth-offrwm gwastadol, yr offrymmir ef,
a'i ddïod-offrwm.
25 Ac ar y seithfed dydd cymmanfa sanctaidd fydd i chwi: dim caeth-waith ni's
gwnewch.
26 ¶ Ac [m] ar ddydd eich blaen-ffrwythau, [m] Exod. 23.
pan offrymmoch fwyd-offrwm newydd i'r 16. a 34. 22.
ARGLWYDD, wedi eich wythnosau, cym- Lef. 23. 10.
manfa sanctaidd fydd i chwi: dim caeth- Deut. 16. 10.
waith ni's gwnewch.
27 Ond offrymmwch ddau fustach ieuaingc, un hwrdd, a saith oen blwyddiaid,
yn boeth-offrwm, o arogl peraidd i'r ARGLWYDD.
28 A *bydded* eu bwyd-offrwm o beilliaid
wedi ei gymmysgu trwy olew; tair degfed
ran gyd â phob bustach, dwy ddegfed ran
gyd â phob hwrdd;
29 Bob yn ddegfed ran gyd â phob oen,
o'r saith oen:
30 Un bwch geifr, i wneuthur cymmod
drosoch.
31 Heb law'r poeth-offrwm gwastadol, a'i
fwyd-offrwm, yr offrymmwch *hyn* ([n] bydd- [n] Adn. 19.
ant gennych yn berffeith-gwbl) ynghyd â'u
dïod-offrwm.

## PEN. XXIX.

1 *Yr offrymmau ar wyl yr udgyrn,* 7 *ar y dydd y cystuddiant eu heneidiau,* 13 *ac ar wyth niwrnod gwyl y pebyll.*

AC yn y seithfed mis, ar y *dydd* cyntaf 1452.
o'r mis, y bydd i chwi gymmanfa
sanctaidd; dim caeth-waith ni's gwnewch:
[a] dydd i ganu udgyrn fydd efe i chwi. [a] Lef. 23.
2 Ac offrymmwch offrwm poeth yn arogl 24.
peraidd i'r ARGLWYDD; un bustach ieuangc, un hwrdd, saith o ŵyn blwyddiaid,
perffeith-gwbl:
3 A'u bwyd-offrwm o beilliaid wedi ei
gymmysgu trwy olew; tair degfed ran gyd â
bustach, a dwy ddegfed ran gyd â hwrdd;
4 Ac un ddegfed ran gyd â phob oen, o'r
saith oen:
5 Ac un bwch geifr yn bech-aberth, i
wneuthur cymmod drosoch:
6 Heb law [b] poeth-offrwm y mis, a'i fwyd- [b] Pen. 28.
offrwm, a'r [c] poeth-offrwm gwastadol, a'i 11.
fwyd-offrwm, a'u dïod-offrwm hwynt, wrth [c] Pen. 28. 3.
eu defod hwynt, yn arogl peraidd, yn aberth
tanllyd i'r ARGLWYDD.
7 ¶ Ac [d] ar y degfed *dydd* o'r seithfed [d] Lef. 16.
mis hwn cymmanfa sanctaidd fydd i chwi: 29. a 23. 27.
yna cystuddiwch eich eneidiau: dim gwaith
ni's gwnewch *ynddo.*
8 Ond offrymmwch boeth-offrwm i'r ARGLWYDD, yn arogl peraidd, un bustach
ieuangc, un hwrdd, saith oen blwyddiaid:
[e] byddant berffeith-gwbl gennych. [e] Pen. 28.
9 A'u bwyd-offrwm *fydd* o beilliaid wedi 19.

ei gymmysgu trwy olew, tair degfed ran gyd â bustach, a dwy ddegfed ran gyd â hwrdd;

10 Bob yn ddegfed ran gyd â phob oen, o'r saith oen:

f Lef. 16. 3, 5.
11 Un bwch geifr yn bech-aberth: heb law f pech-aberth y cymmod, a'r poeth-offrwm gwastadol, a'i fwyd-offrwm, a'u dïod-offrymmau.

g Lef. 23. 33.
12 ¶ Ac g ar y pymthegfed dydd o'r seithfed mis, cymmanfa sanctaidd fydd i chwi: dim caeth-waith ni's gwnewch; eithr cedwch wyl i'r ARGLWYDD, saith niwrnod.

h Ezra 3. 4.
13 Ac h offrymmwch offrwm poeth, aberth tanllyd, o arogl peraidd i'r ARGLWYDD; tri ar ddeg o fustych ieuaingc, dau hwrdd, pedwar ar ddeg o ŵyn blwyddiaid: byddant berffeith-gwbl.

14 A'u bwyd-offrwm *fydd* o beilliaid wedi ei gymmysgu trwy olew; tair degfed ran gyd â phob bustach, o'r tri bustach ar ddeg; dwy ddegfed ran gyd â phob hwrdd, o'r ddau hwrdd;

15 A phob yn ddegfed ran gyd â phob oen, o'r pedwar oen ar ddeg:

16 Ac un bwch geifr yn bech-aberth; heb law'r poeth-offrwm gwastadol, ei fwyd-offrwm, a'i ddïod-offrwm.

17 ¶ Ac ar yr ail dydd *yr offrymmwch* ddeuddeng mustach ieuaingc, dau hwrdd, pedwar ar ddeg o ŵyn blwyddiaid, perffeith-gwbl.

i Pen. 28. 7, 14. Adn. 3, 4, 9, 10.
18 A'u bwyd-offrwm, a'u dïod-offrwm, gyd â'r bustych, gyd â'r hyrddod, a chyd â'r ŵyn, *fydd* yn ol eu rhifedi, i wrth y ddefod:

19 Ac un bwch geifr yn bech-aberth; heb law'r poeth-offrwm gwastadol, a'i fwyd-offrwm, a'u dïod-offrymmau.

20 ¶ Ac ar y trydydd dydd, un bustach ar ddeg, dau hwrdd, pedwar ar ddeg o ŵyn blwyddiaid, perffeith-gwbl:

k Adn. 18.
21 A'u bwyd-offrwm, a'u dïod-offrwm, gyd â'r bustych, gyd â'r hyrddod, a chyd â'r ŵyn, *fydd* yn ol eu rhifedi, k wrth y ddefod:

22 Ac un bwch geifr yn bech-aberth; heb law'r poeth-offrwm gwastadol, a'i fwyd-offrwm, a'i ddïod-offrwm.

23 ¶ Ac ar y pedwerydd dydd, deng mustach, dau hwrdd, pedwar ar ddeg o ŵyn blwyddiaid, perffeith-gwbl.

24 Eu bwyd-offrwm, â'u dïod-offrwm, gyd â'r bustych, gyd â'r hyrddod, a chyd â'r ŵyn, *fydd* yn ol eu rhifedi, wrth y ddefod:

25 Ac un bwch geifr yn bech-aberth; heb law'r poeth-offrwm gwastadol, ei fwyd-offrwm, a'i ddïod-offrwm.

26 ¶ Ac ar y pummed dydd, naw bustach, dau hwrdd, pedwar ar ddeg o ŵyn blwyddiaid, perffeith-gwbl.

27 A'u bwyd-offrwm, a'u dïod-offrwm, gyd â'r bustych, gyd â'r hyrddod, a chyd â'r ŵyn, *fydd* yn ol eu rhifedi, wrth y ddefod:

28 Ac un bwch yn bech-aberth; heb law'r poeth-offrwm gwastadol, a'i fwyd-offrwm, a'i ddïod-offrwm.

29 ¶ Ac ar y chweched dydd, wyth o fustych, dau hwrdd, pedwar ar ddeg o ŵyn blwyddiaid, perffeith-gwbl.

30 A'u bwyd-offrwm, a'u dïod-offrwm, gyd â'r bustych, gyd â'r hyrddod, a chyd â'r ŵyn, *fydd* yn ol eu rhifedi, wrth y ddefod:

31 Ac un bwch yn bech-aberth; heb law'r poeth-offrwm gwastadol, ei fwyd-offrwm, a'i ddïod-offrwm.

32 ¶ Ac ar y seithfed dydd, saith o fustych, dau hwrdd, pedwar ar ddeg o ŵyn blwyddiaid, perffeith-gwbl.

33 A'u bwyd-offrwm, a'u dïod-offrwm, gyd â'r bustych, gyd â'r hyrddod, a chyd â'r ŵyn, *fydd* yn ol eu rhifedi, wrth eu defod:

34 Ac un bwch yn bech-aberth; heb law'r poeth-offrwm gwastadol, ei fwyd-offrwm, a'i ddïod-offrwm.

l Lef. 23. 36.
35 ¶ Ar yr wythfed dydd, l uchel wyl fydd i chwi: dim caeth-waith ni's gwnewch *ynddo*.

36 Ond offrymmwch offrwm poeth, aberth tanllyd, o arogl peraidd i'r ARGLWYDD; un bustach, un hwrdd, saith o ŵyn blwyddiaid, perffeith-gwbl.

37 Eu bwyd-offrwm, a'u dïod-offrwm, gyd â'r bustach, a chyd â'r hwrdd, a chyd â'r ŵyn, *fydd* yn ol eu rhifedi, wrth y ddefod:

38 Ac un bwch yn bech-aberth; heb law'r poeth-offrwm gwastadol, ei fwyd-offrwm, a'i ddïod-offrwm.

† Neu, *offrymmwch.* m Lef. 7. 11, 16.
39 Hyn a † wnewch i'r ARGLWYDD ar eich gwyliau; heb law eich m addunedau, a'ch offrymmau gwirfodd, gyd â'ch offrymmau poeth, a'ch offrymmau bwyd, a'ch offrymmau dïod, a'ch offrymmau hedd.

40 A dywedodd Moses wrth feibion Israel yn ol yr hyn oll a orchymynasai'r ARGLWYDD wrth Moses.

## PEN. XXX.

Chwefr. 19. P.
1 *Na ellir torri addunedau; 3 ond adduned morwyn ieuangc, 6 gwraig ŵriog, 9 gwraig weddw, a'r ysgaredig.*

1452.
A Llefarodd Moses wrth bennaethiaid llwythau meibion Israel, gan ddywedyd, Dyma'r peth a orchymynodd yr ARGLWYDD.

a Deut. 23. 21. Preg. 5. 4. † *thorred.*
2 a Os adduneda gwr adduned i'r ARGLWYDD, neu dyngu llw, gan rwymo rhwymedigaeth ar ei enaid ei hun; na † haloged ei air: gwnaed yn ol yr hyn oll a ddel allan o'i enau.

3 Ac os adduneda benyw adduned i'r ARGLWYDD, a'i rhwymo *ei hun* â rhwymedigaeth yn nhŷ ei thad, yn ei hieuengctid;

4 A chlywed o'i thad ei hadduned, a'i rhwymedigaeth yr hwn a rwymodd hi ar ei henaid, a thewi o'i thad wrthi: yna safed ei holl addunedau; a phob rhwymedigaeth a rwymodd hi ar ei henaid, a saif.

5 Ond os ei thad a bar iddi dorri, ar y dydd y clywo efe; o'i holl addunedau, a'i rhwymedigaethau y rhai a rwymodd hi ar ei henaid, ni saif *un:* a maddeu'r ARGLWYDD iddi, o achos mai ei thad a barodd iddi dorri.

‡ Heb. *oedd ei haddunedau arni.*
6 Ac os hi oedd yn eiddo gwr, pan ‡ addunedodd, neu pan lefarodd o'i gwefusau beth a rwymo ei henaid hi;

7 A chlywed o'i gwr, a thewi wrthi y dydd y clywo: yna safed ei haddunedau; a'i rhwymedigaethau y rhai a rwymodd hi ar ei henaid, a safant.

8 Ond os ei gwr, ar y dydd y clywo, a bar iddi dorri; efe a ddiddymma ei hadduned yr hwn *fydd* arni, a thraethiad ei gwefusau yr hwn a rwymodd hi ar ei henaid: a'r ARGLWYDD a faddeu iddi.

9 Ond adduned y weddw, a'r ysgaredig, yr hyn oll a rwymo hi ar ei henaid, a saif arni.

10 Ond os yn nhŷ ei gwr yr addunedodd, neu y rhwymodd hi rwymedigaeth ar ei henaid trwy lw;

11 A chlywed o'i gwr, a thewi wrthi, heb beri iddi dorri: yna safed ei holl addunedau; a phob rhwym a rwymodd hi ar ei henaid, a saif.

12 Ond os ei gwr gan ddiddymmu a'u diddymma hwynt y dydd y clywo; ni saif dim a ddaeth allan o'i gwefusau, o'i haddunedau, ac o rwymedigaeth ei henaid: ei gwr a'u diddymmodd hwynt; a'r ARGLWYDD a faddeu iddi.

13 Pob adduned, a phob rhwymedigaeth llw i gystuddio'r enaid, ei gwr a'i cadarnhâ, a'i gwr a'i diddymma.

14 Ac os ei gwr gan dewi a daw wrthi o ddydd i ddydd; yna y cadarnhaodd efe ei holl addunedau, neu ei holl rwymedigaethau y rhai *oedd* arni: cadarnhaodd hwynt, pan dawodd wrthi, y dydd y clybu efe *hwynt*.

15 Ac os efe gan ddiddymmu a'u diddymma hwynt wedi iddo glywed; yna efe a ddwg ei hanwiredd hi.

16 Dyma'r deddfau a orchymynodd yr ARGLWYDD wrth Moses, rhwng gwr a'i wraig, a rhwng tad a'i ferch, yn ei hieuengctid yn nhŷ ei thad.

## PEN. XXXI.

Chwefr. 20. B.

1 *Yspeilio'r Midianiaid, a lladd Balaam.* 13 *Moses yn ddig wrth y swyddogion, am gadw'r gwragedd yn fyw.* 19 *Pa fodd y glanhëir y milwŷr, a'u carcharorion, a'u hysglyfaeth.* 25 *Y modd y mae rhannu'r yspail.* 48 *Yr offrwm ewyllysgar i drysordy'r Arglwydd.*

1452. A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

[a] Pen. 25. 17. — 2 [a] Dïal feibion Israel ar y Midianiaid: wedi *hynny* [b] ti a gesglir at dy bobl.

[b] Pen. 27. 13. — 3 A llefarodd Moses wrth y bobl, gan ddywedyd, Arfogwch o honoch wŷr i'r rhyfel, ac ant yn erbyn Midian, i roddi dïal yr ARGLWYDD ar Midian.

† Heb. *Mil o lwyth, mil o lwyth.* — 4 † Mil o bob llwyth, o holl lwythau Israel, a anfonwch i'r rhyfel.

5 A rhoddasant o filoedd Israel fil o *bob* llwyth, *sef* deuddeng mil, o rai wedi eu harfogi i'r rhyfel.

[c] Pen. 10. 9. — 6 Ac anfonodd Moses hwynt i'r rhyfel, mil o *bob* llwyth; hwynt a Phinees mab Eleazar yr offeiriad, *a anfonodd efe* i'r rhyfel, â dodrefn y cyssegr, a'r [c] udgyrn i udganu yn ei law.

[d] Deut. 20. 13. — 7 A hwy a ryfelasant yn erbyn Midian, megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD wrth Moses; ac [d] a laddasant [e] bob gwrryw.

Barn. 21. 11. 1 Sam. 27. 9. 1 Bren. 11. 15, 16. — 8 Brenhinoedd Midian hefyd a laddasant hwy, gyd â'u lladdedigion *eraill*; sef [f] Efi, a Recem, a Sur, a Hur, a Reba, pum brenhin Midian: [g] Balaam hefyd mab Beor a laddasant hwy â'r cleddyf.

[e] Edrych Barn. 6. 1, 2, 33. [f] Jos. 13. 21. — 9 Meibion Israel a ddaliasant hefyd yn garcharorion wragedd Midian, a'u plant; ac a yspeiliasant eu holl anifeiliaid hwynt, a'u holl ddâ hwynt, a'u holl olud hwynt.

[g] Jos. 13. 22. — 10 Eu holl ddinasoedd hefyd trwy eu trigfannau, a'u holl dyrau, a losgasant â thân.

[h] Deut. 20. 14. — 11 A [h] chymmerasant yr holl yspail, a'r holl gaffaeliad, o ddyn ac o anifail.

12 Ac a ddygasant at Moses, ac at Eleazar yr offeiriad, ac at gynnulleidfa meibion Israel, y carcharorion, a'r caffaeliad, a'r yspail, i'r gwersyll, yn rhosydd Moab, y rhai *ydynt* wrth yr Iorddonen, *ar gyfer* Jericho.

13 ¶ Yna Moses ac Eleazar yr offeiriad, a holl bennaduriaid y gynnulleidfa, a aethant i'w cyfarfod hwynt o'r tu allan i'r gwersyll.

14 A digiodd Moses wrth swyddogion y fyddin, capteniaid y miloedd, a chapteniaid y cantoedd, y rhai a ddaethant o frwydr y rhyfel.

15 A dywedodd Moses wrthynt, A adawsoch chwi [i] bob benyw yn fyw? — [i] Edrych Deut. 20. 13. 1 Sam. 15. 3.

16 Wele, [k] hwynt, trwy [l] air Balaam, a barasant i feibion Israel wneuthur camwedd yn erbyn yr ARGLWYDD yn achos Peor; a [m] bu pla ynghynnulleidfa'r ARGLWYDD. — [k] Pen. 25. 2. [l] Pen. 24. 14. 2 Petr 2. 15.

17 Am hynny [n] lleddwch yn awr bob gwrryw o blentyn; a lleddwch bob benyw a fu iddi a wnaeth â gwr, trwy orwedd gyd ‡ ag ef. — [m] Pen. 25. 9.

18 A phob plentyn o'r benywaid y rhai ni bu iddynt a wnaethant â gwr, cedwch yn fyw i chwi. — [n] Barn. 21. 11. ‡ Heb. *â gwrryw.*

19 Ac [o] arhoswch chwithau o'r tu allan i'r gwersyll saith niwrnod: pob un a laddodd ddyn, a [p] phob un a gyffyrddodd wrth laddedig, ymlanhêwch y trydydd dydd, a'r seithfed dydd, chwi a'ch carcharorion. — [o] Pen. 5. 2. [p] Pen. 19. 11, &c.

20 Pob gwisg hefyd, a phob dodrefnyn croen, a phob gwaith o *flew* geifr, a phob llestr pren, a lanhêwch chwi.

21 ¶ A dywedodd Eleazar yr offeiriad wrth y rhyfelwŷr y rhai a aethant i'r rhyfel, Dyma ddeddf y gyfraith a orchymynodd yr ARGLWYDD wrth Moses:

22 Yn unig yr aur, a'r arian, y pres, yr haiarn, yr alcam, a'r plwm;

23 Pob dim a ddïoddefo dân, a dynnwch trwy'r tân, a glân fydd; ac etto efe a lanhëir [q] â'r dwfr neilltuaeth: a'r hyn oll ni ddïoddefo dân, tynnwch trwy'r dwfr *yn unig*. — [q] Pen. 19. 9, 17.

24 A golchwch eich gwisgoedd ar y seithfed dydd, a glân fyddwch; ac wedi hynny deuwch i'r gwersyll.

25 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses, gan ddywedyd,

26 Cymmer nifer yr yspail § a gaed, o ddyn ac o anifail, ti ac Eleazar yr offeiriad, a phennau-cenedl y gynnulleidfa: — § Heb. *o'r gaethglud.*

27 A [r] rhanna'r caffaeliad yn ddwy ran; rhwng y rhyfelwŷr a aethant i'r filwriaeth, a'r holl gynnulleidfa. — [r] Jos. 22. 8. 1 Sam. 30. 24.

28 A chyfod deyrn-ged i'r ARGLWYDD gan y rhyfelwŷr y rhai a aethant allan i'r filwriaeth; [s] un enaid o *bob* pum cant o'r dynion, ac o'r eidionau, ac o'r asynod, ac o'r defaid. — [s] Edrych Pen. 18. 26. a adn. 30, 47.

29 Cymmerwch *hyn* o'u hanner hwynt, a dyro i Eleazar yr offeiriad, yn ddyrchafael-offrwm yr ARGLWYDD.

30 Ac o hanner meibion Israel y cymmeri un rhan o *bob* deg a deugain, o'r dynion, o'r eidionau, o'r asynod, ac o'r ‖ defaid, *ac* o bob anifail, a dod hwynt i'r Lefiaid, [t] y rhai ydynt yn cadw cadwraeth tabernacl yr ARGLWYDD. — ‖ Neu, *geifr*, neu *praidd*. [t] Pen. 3. 7, 8, 25. 31, 36.

31 A gwnaeth Moses ac Eleazar yr offeiriad megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD wrth Moses.

32 A'r caffaeliad, *sef* gweddill yr yspail yr hon a ddygasai pobl y filwriaeth, oedd chwe chan mil a phymtheg a thrugain o filoedd o ddefaid,

33 A deuddeg a thrugain mil o eidionau,

34 Ac un fil a thrugain o asynod,

35 Ac o ddynion, o fenywaid ni buasai iddynt a wnaethant â gwr, trwy orwedd gyd ag ef, ddeuddeng mil ar hugain o eneidiau.

36 A'r hanner, *sef* rhan y rhai a aethant

i 'r rhyfel, oedd, o rifedi defaid, dri chan
mil a dwy ar bymtheg ar hugain o filoedd, a
phum cant;
37 A theyrn-ged yr ARGLWYDD o'r de-
faid oedd chwe chant a phymtheg a thrugain.
38 A'r eidionau *oedd* un fil ar bymtheg ar
hugain; a'u teyrn-ged i'r ARGLWYDD *oedd*
ddeuddeg a thrugain.
39 A'r asynod *oedd* ddeng mil ar hugain
a phum cant; a'u teyrn-ged i'r ARGLWYDD
*oedd* un a thrugain.
40 A'r dynion *oedd* un fil ar bymtheg;
a'u teyrn-ged i'r ARGLWYDD *oedd* ddeu-
ddeg enaid ar hugain.
41 A Moses a roddodd deyrn-ged offrwm
dyrchafael yr ARGLWYDD i Eleazar yr
u Edrych Pen. 18. 2, 19. offeiriad, [u] megis y gorchymynasai 'r AR-
GLWYDD wrth Moses.
42 Ac o ran meibion Israel, yr hon a ran-
nasai Moses oddi wrth y milwŷr,
43 *Sef* rhan y gynnulleidfa o'r defaid,
oedd dri chan mil a dwy ar bymtheg ar
hugain o filoedd, a phum cant;
44 Ac o'r eidionau, un fil ar bymtheg ar
hugain;
45 Ac o'r asynod, deng mil ar hugain a
phum cant;
46 Ac o'r dynion, un fil ar bymtheg.
47 Ie, cymmerodd Moses o hanner meib-
ion Israel, un rhan o *bob* deg a deugain, o'r
dynion, ac o'r anifeiliaid, ac a'u rhoddes
hwynt i'r Lefiaid oedd yn cadw cadwraeth
tabernacl yr ARGLWYDD; megis y gorchy-
mynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.
48 ¶ A'r swyddogion, y rhai *oedd* ar fil-
oedd y llu, a ddaethant at Moses, *sef* capten-
iaid y miloedd, a chapteniaid y cantoedd:
49 A dywedasant wrth Moses, Dy weision
a gymmerasant nifer y gwŷr o ryfel *a rodd-
aist* dan ein dwylaw ni; ac nid oes wr yn
eisiau o honom.
50 Am hynny yr ydym yn offrymmu off-
rwm i'r ARGLWYDD, pob un yr hyn a
gafodd, yn offerynau aur, yn gadwynau, yn
freichledau, yn fodrwyau, yn glust-dlysau,
ac yn dorchau, i wneuthur cymmod dros ein
heneidiau ger bron yr ARGLWYDD.
51 A chymmerodd Moses ac Eleazar yr
offeiriad yr aur ganddynt, y dodrefn gweith-
gar oll.
52 Ac yr ydoedd holl aur yr offrwm dyr-
chafael, yr hwn a offrymmasant i'r AR-
GLWYDD, oddi wrth gapteniaid y miloedd,
ac oddi wrth gapteniaid y cantoedd, yn un
fil ar bymtheg saith gant a deg a deugain o
siclau.
x Deut. 20. 14. 53 ([x] Yspeiliasai 'r gwŷr o ryfel bob un
iddo ei hun.)
54 A chymmerodd Moses ac Eleazar yr
offeiriad yr aur gan gapteniaid y miloedd
a'r cantoedd, ac a'i dygasant i babell y cyf-
arfod, yn goffadwriaeth dros feibion Israel
ger bron yr ARGLWYDD.

## PEN. XXXII.

Chwefr. 20. P. 1 *Y Reubeniaid a'r Gadiaid yn gofyn eu heti-
feddiaeth y tu hwnt i'r Iorddonen.* 6 *Moses
yn eu ceryddu hwynt.* 16 *Hwythau yn
cynnyg iddo ef ammodau wrth ei fodd.* 33
*Moses yn rhoddi iddynt y wlad.* 39 *Hwy-
thau yn ei goresgyn hi.*

1452. AC yr ydoedd anifeiliaid lawer i feib-
ion Reuben, a llawer iawn i feib-
a Pen. 21. 32. ion Gad: a gwelsant dir [a] Jazer, a thir
Gilead; ac wele 'r lle yn lle *da* i anifeil-
iaid.

2 A meibion Gad a meibion Reuben a
ddaethant, ac a ddywedasant wrth Moses,
ac wrth Eleazar yr offeiriad, ac wrth benna-
duriaid y gynnulleidfa, gan ddywedyd,
3 Ataroth, a Dibon, a Jazer, a [b] Nimrah, b Adn. 36, *Bethnimrah.*
a Hesbon, ac Elealeh, a [c] Sebam, a Nebo, a
[d] Beon,
4 *Sef* y tir [e] a darawodd yr ARGLWYDD c Adn. 38, *Sibmah.*
o flaen cynnulleidfa Israel, tir i anifeiliaid d Adn. 38, *Baalmeon.*
*yw* efe; ac *y mae* i'th weision anifeiliaid.
5 A dywedasant, Os cawsom ffafr yn dy e Pen. 21. 24, 34.
olwg, rhodder y tir hwn i'th weision yn
feddiant: na phar i ni fyned dros yr Ior-
ddonen.
6 ¶ A dywedodd Moses wrth feibion
Gad, ac wrth feibion Reuben, A â eich bro-
dyr i'r rhyfel, ac a eisteddwch chwithau
yma?
7 A pha ham y † digalonnwch feibion † Heb. *torrwch galon meibion,* &c.
Israel rhag myned trosodd i'r tir a roddodd
yr ARGLWYDD iddynt?
8 Felly y gwnaeth eich tadau, [f] pan an-
fonais hwynt o Cades-Barnea [g] i edrych y f Pen. 13. 3.
tir.
9 Canys [h] aethant i fynu hyd ddyffryn g Deut. 1. 22.
Escol, a gwelsant y tir; a digalonnasant feib-
ion Israel rhag myned i'r tir a roddasai 'r h Pen. 13. 24.
ARGLWYDD iddynt.
10 Ac ennynodd digllonedd yr AR-
GLWYDD y dydd hwnnw; ac efe a dyng-
odd, gan ddywedyd,
11 [i] Dïau na chaiff yr un o'r dynion a i Pen. 14. 28, 29. Deut. 1. 35.
ddaethant i fynu o'r Aipht, o fab ugain
mlwydd ac uchod, weled y tir a addewais
trwy lw i Abraham, i Isaac, ac i Jacob; am
[k] na chyflawnasant *wneuthur* ar fy ol i: k Pen. 14. 24, 30.
12 Ond Caleb mab Jephunneh y Cenez-
iad, a Josua mab Nun; canys cyflawnasant
*wneuthur* ar ol yr ARGLWYDD.
13 Ac ennynodd digllonedd yr AR-
GLWYDD yn erbyn Israel; a gwnaeth idd-
ynt grwydro yn yr anialwch ddeugain mly-
nedd, nes darfod yr holl oes a wnaethai
ddrygioni yngolwg yr ARGLWYDD.
14 Ac wele, chwi a godasoch yn lle eich
tadau, yn gynnyrch dynion pechadurus, i
chwanegu ar angerdd llid yr ARGLWYDD
wrth Israel.
15 Os dychwelwch oddi ar ei ol ef; yna
efe a ad y bobl etto yn yr anialwch, a chwi
a ddinystriwch yr holl bobl hyn.
16 ¶ A hwy a ddaethant atto ef, ac a
ddywedasant, Corlannau defaid a adeilad-
wn ni yma i'n hanifeiliaid, a dinasoedd i'n
plant.
17 A [l] ni a ymarfogwn yn fuan o flaen l Jos. 4. 12.
meibion Israel, hyd oni ddygom hwynt i'w
lle eu hun; a'n plant a arhosant yn y dinas-
oedd caerog, rhag trigolion y tir.
18 [m] Ni ddychwelwn ni i'n tai, nes i m Jos. 22. 4.
feibion Israel berchenogi bob un ei eti-
feddiaeth.
19 Hefyd nid etifeddwn ni gyd â hwynt
o'r tu hwnt i'r Iorddonen, ac oddi yno
allan; am ddyfod ein hetifeddiaeth i ni o'r
tu yma i'r Iorddonen, tu a'r dwyrain.
20 ¶ A [n] dywedodd Moses wrthynt, Os n Deut. 3. 18. Jos. 1. 13.
gwnewch y peth hyn, os ymarfogwch i'r
rhyfel o flaen yr ARGLWYDD,
21 Os â pob un o honoch dros yr Iorddon-
en yn arfog o flaen yr ARGLWYDD, nes iddo
yrru ymaith ei elynion o'i flaen,
22 A [o] darostwng y wlad o flaen yr AR- o Deut. 3. 20.
GLWYDD; yna wedi hynny y cewch
ddychwelyd, ac y byddwch dïeuog ger
bron yr ARGLWYDD, a cher bron Israel;

p Deut. 3. a bydd p y tir hwn yn etifeddiaeth i chwi
12, 15, 16. o flaen yr ARGLWYDD.
Jos. 1. 15. a 23 Ond os chwi ni wna fel hyn; wele,
13. 8. pechu yr ydych yn erbyn yr ARGLWYDD:
a gwybyddwch y goddiwedda eich pechod
chwi.
24 Adeiledwch i chwi ddinasoedd i'ch
plant, a chorlannau i'ch defaid; a gwnewch
yr hyn a ddaeth allan o'ch genau.
25 A llefarodd meibion Gad a meibion
Reuben wrth Moses, gan ddywedyd, Dy
weision a wnant megis y mae fy arglwydd
yn gorchymyn.
26 Ein plant, ein gwragedd, ein hani-
feiliaid, a'n holl ysgrubliaid, fyddant yma
yn ninasoedd Gilead.
q Jos. 4. 12. 27 q A'th weision a ant drosodd o flaen
yr ARGLWYDD i'r rhyfel, pob un yn arfog
i'r filwriaeth, megis y mae fy arglwydd yn
llefaru.
r Jos. 1. 13. 28 A r gorchymynodd Moses i Eleazar
yr offeiriad, ac i Josua fab Nun, ac i ben-
nau-cenedl llwythau meibion Israel, o'u
plegid hwynt:
29 A dywedodd Moses wrthynt, Os meib-
ion Gad a meibion Reuben a ant dros yr
Iorddonen gyd â chwi, pob un yn arfog i'r
rhyfel o flaen yr ARGLWYDD, a darostwng
y wlad o'ch blaen; yna rhoddwch iddynt
wlad Gilead yn berchenogaeth:
30 Ac onid ant drosodd gyd â chwi yn
arfogion, cymmerant eu hetifeddiaeth yn
eich mysg chwi yngwlâd Canaan.
31 A meibion Gad a meibion Reuben a
attebasant, gan ddywedyd, Fel y llefarodd
yr ARGLWYDD wrth dy weision, felly y
gwnawn ni.
32 Nyni a awn drosodd i dir Canaan
yn arfogion o flaen yr ARGLWYDD, fel *y*
*byddo* meddiant ein hetifeddiaeth o'r tu
yma i'r Iorddonen gennym ni.
s Deut. 3. 33 A s rhoddodd Moses iddynt, *sef* i feib-
12. ion Gad, ac i feibion Reuben, ac i hanner
Jos. 13. 8. llwyth Manasseh mab Joseph, t frenhiniaeth
a 22. 4.
t Pen. 21. Sehon brenhin yr Amoriaid, a brenhiniaeth
24, 33. Og brenhin Basan, y wlad a'i dinasoedd ar
hyd y terfynau, *sef* dinasoedd y wlad oddi
amgylch.
34 ¶ A meibion Gad a adeiladasant Ddi-
bon, ac Ataroth, ac Aroer,
u Adn. 1, 3, 35 Ac Atroth, Sophan, a u Jaazer, a Jog-
*Jazer.* beah,
x Adn. 3, 36 A x Beth-nimrah, a Beth-haran, dinas-
*Nimrah.* oedd caerog; a chorlannau defaid.
y Pen. 21.
27. 37 A meibion Reuben y a adeiladasant
z Edrych Hesbon, Elealeh, a Chiriathaim;
Adn. 3. 38 Nebo hefyd, a Baal-meon (z wedi troi
Jos. 23. 7. eu henwau) a Sibmah: ac a † enwasant en-
† *rhoisant enwau* wau ar y dinasoedd a adeiladasant.
*wrthi.* 39 A meibion a Machir mab Manasseh a
a Gen. 50. aethant i Gilead, ac a'i hynnillasant hi, ac a
23. yrrasant ymaith yr Amoriaid oedd ynddi.
b Deut. 3. 40 A b rhoddodd Moses Gilead i Machir
12, 13, 15. fab Manasseh; ac efe a drigodd ynddi.
c Deut. 3. 41 Ac aeth c Jair mab Manasseh, ac a
14.
Jos. 13. 30. ynnillodd eu pentrefydd hwynt, ac a'u gal-
1 Chron. 2. wodd hwynt ‡ d Hasoth-Jair.
21, 22. 42 Ac aeth Nobah, ac a ynnillodd Cenath
‡ *Trefydd* a'i phentrefydd, ac a'i galwodd ar ei enw ei
*Jair.* hun, Nobah.
d Barn. 10.
4.

## PEN. XXXIII.

1 Bren. 4.
13.

1 *Dwy daith a deugain yr Israeliaid.* 50 *Bod yn rhaid dinystrio'r Canaaneaid.*

DYMA deithiau meibion Israel, y rhai
a ddaethant allan o dir yr Aipht, yn
eu lluoedd, dan law Moses ac Aaron.

2 A Moses a 'sgrifenodd eu mynediad
hwynt allan yn ol eu teithiau, wrth orchy-
myn yr ARGLWYDD: a dyma eu teithiau
hwynt yn eu mynediad allan.
3 A hwy a a gychwynasant o Rameses 1491.
yn y mis cyntaf, ar y pymthegfed dydd o'r a Exod. 12.
mis cyntaf: trannoeth wedi 'r Pasg yr aeth 37.
meibion Israel allan b â llaw uchel yngolwg b Exod. 14.
yr Aiphtiaid oll. 8.
4 (A'r Aiphtiaid oedd yn claddu pob
cyntaf-anedig, c y rhai a laddasai'r AR- c Exod. 12.
GLWYDD yn eu mysg; d a gwnaethai'r 29.
ARGLWYDD farn yn erbyn eu duwiau d Exod. 12.
hwynt hefyd) 12. a 18. 11. Esay 19. 1.
5 e A meibion Israel a gychwynasant o e Exod. 12.
Rameses, ac a wersyllasant yn Succoth. 37.
6 A f chychwynasant o Succoth, a gwer- f Exod. 13.
syllasant yn Etham, yr hon *sydd* ynghwrr 20.
yr anialwch.
7 A g chychwynasant o Etham, a throis- g Exod. 14.
ant drachefn i Pi-hahiroth, yr hon *sydd* o 2.
flaen Baal-Sephon; ac a wersyllasant o flaen
Migdol.
8 A chychwynasant o Pi-hahiroth, ac
h aethant trwy ganol y môr i'r anialwch; h Exod. 14.
a cherddasant daith tri diwrnod yn anialwch 22. a 15. 22,
Etham, a gwersyllasant ym Marah. 23.
9 A chychwynasant o Marah, i a daeth- i Exod. 15.
ant i Elim: ac yn Elim *yr ydoedd* deuddeg 27.
o ffynhonnau dwfr, a deg a thrugain o
balmwŷdd; a gwersyllasant yno.
10 A chychwynasant o Elim, a gwersyl-
lasant wrth y môr coch.
11 A chychwynasant oddi wrth y môr
coch, a k gwersyllasant yn anialwch k Exod. 16.
Sin. 1.
12 Ac o anialwch Sin y cychwynasant, ac
y gwersyllasant yn Dophcah.
13 A chychwynasant o Ddophcah, a gwer-
syllasant yn Alus.
14 A chychwynasant o Alus, a l gwer- l Exod. 17.
syllasant yn Rephidim, lle nid oedd dwfr 1.
i'r bobl i'w yfed.
15 A m chychwynasant o Rephidim, a m Exod. 19.
gwersyllasant yn anialwch Sinai. 1, 2.
16 A chychwynasant o anialwch Sinai, 1490.
a gwersyllasant n yn † Cibroth-Hattaa- n Pen. 11.
fah. 34.
17 A o chychwynasant o Cibroth-Hat- † *Beddau'r*
taafah, a gwersyllasant yn Haseroth *blys.*
18 A chychwynasant o Haseroth, a gwer- o Pen. 11.
syllasant yn p Rithmah. 35.
19 A chychwynasant o Rithmah, a gwer- p 1 Mac. 5. 9,
syllasant yn Rimmon-Pares. *Dathema.*
20 A chychwynasant o Rimmon-Pares,
a gwersyllasant yn Libnah.
21 A chychwynasant o Libnah, a gwer-
syllasant yn Rissah.
22 A chychwynasant o Rissah, a gwer-
syllasant yn Cehelathah.
23 A chychwynasant o Cehelathah, a
gwersyllasant ym mynydd Sapher.
24 A chychwynasant o fynydd Sapher,
a gwersyllasant yn Haradah.
25 A chychwynasant o Haradah, a gwer-
syllasant ym Maceloth.
26 A chychwynasant o Maceloth, a gwer-
syllasant yn Tahath.
27 A chychwynasant o Tahath, a gwer-
syllasant yn Tarah.
28 A chychwynasant o Tarah, a gwer-
syllasant ym Mithcah.
29 A chychwynasant o Mithcah, a gwer-
syllasant yn Hasmonah.
30 A chychwynasant o Hasmonah, a q Deut. 10.
q gwersyllasant ym Moseroth. 6.

31 A chychwynasant o Moseroth, a gwersyllasant yn Bene-Jaacan.

r 1 Mac. 5. 4.
32 A chychwynasant o [r] Bene-Jaacan, a [s] gwersyllasant yn Hor-hagidgad.

*Neu,* Farveh Gen. 36. 27. Deut. 10. 6. 1 Cron. 1. 42.
33 A chychwynasant o Hor-hagidgad, a gwersyllasant yn Jotbathah.

34 A chychwynasant o Jotbathah, a gwersyllasant yn Ebronah.

s Deut. 10. 7.
35 A chychwynasant o Ebronah, a gwersyllasant yn Esion-Gaber.

1453. 36 A chychwynasant o Esion-Gaber, a
t Pen. 20. 1.
[t] gwersyllasant yn anialwch Sin; hwnnw *yw* Cades.

u Pen. 20. 22.
37 A [u] chychwynasant o Cades, a gwersyllasant ym mynydd Hor, ynghwrr tir Edom.

x Pen. 20. 25. Deut. 10. 6. a 32. 50.
38 Ac [x] Aaron yr offeiriad a aeth i fynu i fynydd Hor, wrth orchymyn yr Arglwydd; ac a fu farw yno, yn y ddeugeinfed flwyddyn wedi dyfod meibion Israel allan o dir yr Aipht, yn y pummed mis, ar y *dydd* cyntaf o'r mis.

1452. 39 Ac Aaron *oedd* fab tair blwydd ar hugain a chant pan fu farw ym mynydd Hor.

y Pen. 21. 1, &c.
40 A [y] brenhin Arad y Canaanead, yr hwn oedd yn trigo yn y dehau yn nhir Canaan, a glybu o ddyfodiad meibion Israel.

z Pen. 21. 4.
41 A [z] chychwynasant o fynydd Hor, a gwersyllasant yn Salmonah.

42 A chychwynasant o Salmonah, a gwersyllasant yn Punon.

a Pen. 21. 10.
43 A chychwynasant o Punon, a [a] gwersyllasant yn Oboth.

b Pen. 21. 11.
44 A [b] chychwynasant o Oboth, a gwersyllasant yn † Ije-Abarim, ar derfyn Moab.

† *Neu,* *Carnedd-au Abarim.*
45 A chychwynasant o Ije-Abarim, a gwersyllasant yn Dibon-Gad.

c Ezec. 6. 14.
46 A chychwynasant o Ddibon-Gad, a gwersyllasant yn Almon-[c] Diblathaim.

47 A chychwynasant o Almon-Diblathaim, a gwersyllasant ym mynyddoedd Abarim, o flaen Nebo.

d Pen. 22. 1.
48 A chychwynasant o fynyddoedd Abarim, a [d] gwersyllasant yn rhosydd Moab, wrth yr Iorddonen, *ar gyfer* Jericho.

‡ *Neu,* *Abel.*
49 A gwersyllasant wrth yr Iorddonen, o Beth-Jesimoth hyd ‡ [e] wastadedd Sittim, yn rhosydd Moab.

e Pen. 25. 1. Jos. 2. 1.
50 ¶ A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, yn rhosydd Moab, wrth yr Iorddonen, *ar gyfer* Jericho, gan ddywedyd,

f Deut. 7. 2. Jos. 11. 12.
51 Llefara wrth feibion Israel, a dywed wrthynt, [f] Gan eich bod chwi yn myned dros yr Iorddonen, i dir Canaan;

g Exod. 23. 24, 33. a 34. 13. Deut. 7. 2, 5. a 12. 3.
52 [g] Gyrrwch ymaith holl drigolion y tir o'ch blaen, a dinystriwch eu holl luniau hwynt; dinystriwch hefyd eu holl ddelwau tawdd, a difwynwch hefyd eu holl uchelfeydd hwynt.

53 A goresgynwch y tir, a thrigwch ynddo: canys rhoddais y tir i chwi i'w berchenogi.

h Pen. 26. 53.
54 [h] Rhennwch hefyd y tir yn etifeddiaeth rhwng eich teuluoedd wrth goelbren; i'r aml 'chwanegwch ei etifeddiaeth, ac i'r anaml prinhêwch ei etifeddiaeth: bydded eiddo *pob un y man* lle yr el y coelbren allan iddo; yn ol llwythau eich tadau yr etifeddwch.

i Jos. 23. 13. Barn. 2. 3. Edrych Exod. 23. 33.
55 Ac oni yrrwch ymaith breswylwŷr y tir o'ch blaen; yna *y bydd* y rhai a weddillwch o honynt [i] yn gethri yn eich llygaid, ac yn ddrain yn eich ystlysau, a blinant chwi yn y tir y trigwch ynddo.

56 A bydd, megis yr amcenais wneuthur iddynt hwy, y gwnaf i chwi.

PEN. XXXIV.

1 *Terfynau'r wlad.* 16 *Enwau'r rhai a rannant y tir.*

A Llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd, 1452.

2 Gorchymyn i feibion Israel, a dywed wrthynt, Pan ddeloch chwi i dir Canaan (dyma'r tir a syrth i chwi yn etifeddiaeth, *sef* gwlad Canaan a'i therfynau)

3 A'ch tu [a] dehau fydd o anialwch Sin, ger llaw Edom; a therfyn y dehau fydd i chwi o gwrr [b] y môr heli tu a'r dwyrain. a Jos. 15. 1. b Gen. 14. 3.

4 A'ch terfyn a amgylchyna o'r dehau i riw Acrabbim, ac a â trosodd i Sin; a'i fynediad allan fydd o'r dehau i Cades-Barnea, ac a â allan i [c] Hasar-Adar, a throsodd i Asmon, c Edrych Jos. 15. 3.

5 A'r terfyn a amgylchyna o Asmon i afon yr Aipht; a'i fynediad ef allan a fydd tu a'r † gorllewin. † Heb. *môr.*

6 A therfyn y gorllewin fydd y môr mawr i chwi; *sef* y terfyn hwn fydd i chwi yn derfyn gorllewin.

7 A hwn fydd terfyn y gogledd i chwi: o'r môr mawr y tueddwch i fynydd Hor.

8 O fynydd Hor y tueddwch nes dyfod [d] i Hamath; a mynediad y terfyn fydd i Sedad. d 2 Bren. 14. 25.

9 ¶ A'r terfyn a â allan tu a Ziphron; a'i ddiwedd ef fydd yn Hasar-Enan: hwn fydd terfyn y gogledd i chwi.

10 A therfynwch i chwi yn derfyn y dwyrain o Hasar-Enan i Sepham.

11 Ac aed y terfyn i wared o Sepham i Riblah, ar du dwyrain Ain; a disgyned y terfyn, ac aed hyd ‡ ystlys môr Cinnereth ‡ Heb. *ysgwydd.*
tu a'r dwyrain.

12 A'r terfyn a â i wared tu a'r Iorddonen; a'i ddiwedd fydd y môr heli. Dyma'r tir fydd i chwi a'i derfynau oddi amgylch.

13 A gorchymynodd Moses i feibion Israel, gan ddywedyd, Dyma'r tir a rennwch yn etifeddiaethau wrth goelbren, yr hwn a orchymynodd yr Arglwydd ei roddi i'r naw llwyth, ac i'r hanner llwyth.

14 [e] Canys cymmerasai llwyth meibion e Pen. 32. 33.
Reuben yn ol tŷ eu tadau, a llwyth meibion Jos. 14. 2, 3.
Gad yn ol tŷ eu tadau, a hanner llwyth Manasseh, cymmerasant, *meddaf,* eu hetifeddiaeth.

15 Dau lwyth a hanner llwyth a gymmerasant eu hetifeddiaeth o'r tu yma i'r Iorddonen, *yn agos* i Jericho, tu a'r dwyrain a chodiad *haul.*

16 ¶ Llefarodd yr Arglwydd *hefyd* wrth Moses, gan ddywedyd,

17 Dyma enwau'r gwŷr a rannant y tir yn etifeddiaethau i chwi: [f] Eleazar yr offeiriad, f Jos. 14. 1. a 19. 51.
a Josua mab Nun.

18 Ac un pennaeth o bob llwyth a gymmerwch, i rannu'r tir yn etifeddiaethau.

19 Ac fel dyma enwau'r gwŷr: o lwyth Judah, Caleb mab Jephunneh.

20 Ac o lwyth meibion Simeon, Semuel mab Ammihud.

21 O lwyth Benjamin, Elidad mab Cislon.

22 A Bucci mab Jogli, yn bennaeth o lwyth meibion Dan.

23 O feibion Joseph, Haniel mab Ephod, yn bennaeth dros lwyth meibion Manasseh.

24 Cemuel hefyd mab Siphtan, yn ben-
naeth dros lwyth meibion Ephraim.
25 Ac Elisaphan mab Pharnach, yn ben-
naeth dros lwyth meibion Zabulon.
26 Paltïel hefyd mab Asan, yn bennaeth
dros lwyth meibion Issachar.
27 Ac Ahihud mab Salomi, yn bennaeth
dros lwyth meibion Aser.
28 Ac yn bennaeth dros lwyth meibion
Naphtali, Pedahel mab Ammihud.
29 Dyma'r rhai a orchymynodd yr ARGLWYDD iddynt rannu etifeddiaethau i
feibion Israel, yn nhir Canaan.

## PEN. XXXV.

Chwefr. 21. B. 1 *Rhoddi wyth dref a deugain a'u pentrefi i'r Lefiaid, a'u mesur.* 6 *Chwech o'r rhai hynny yn drefydd noddfa.* 9 *Cyfraith llawruddiaeth:* 31 *ac na's gellir ei ddiwygio.*

1451. A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses,
yn rhosydd Moab, wrth yr Iorddonen,
*yn agos i* Jericho, gan ddywedyd,
a Jos. 14. 3, 4. a 21. 2. 2 a Gorchymyn i feibion Israel, roddi o
honynt i'r Lefiaid, o etifeddiaeth eu medd-
iant, ddinasoedd i drigo ynddynt: rhodd-
wch *hefyd* i'r Lefiaid faes pentrefol wrth
y dinasoedd o'u hamgylch.
3 A'r dinasoedd fyddant iddynt i drigo
*ynddynt;* a'u pentrefol-feusydd fyddant i'w
hanifeiliaid, ac i'w cyfoeth, ac i'w holl
fwystfilod.
4 A meusydd pentrefol y dinasoedd y rhai
a roddwch i'r Lefiaid, *a gyrhaeddant* o fur
y ddinas tu ag allan, fil o gufyddau o am-
gylch.
5 A mesurwch o'r tu allan i'r ddinas, o
du'r dwyrain ddwy fil o gufyddau, a thu
a'r dehau ddwy fil o gufyddau, a thu a'r
gorllewin ddwy fil o gufyddau, a thu a'r
gogledd ddwy fil o gufyddau; a'r ddinas
*fydd* yn y canol: hyn fydd iddynt yn feus-
ydd pentrefol y dinasoedd.
6 Ac o'r dinasoedd a roddwch i'r Lefi-
b Deut. 4. 41. Jos. 20. 2. a 21. 3, 21. aid, *bydded* b chwech yn ddinasoedd noddfa,
y rhai a roddwch, fel y gallo'r llawruddiog
ffoi yno: a rhoddwch ddwy ddinas a deu-
gain attynt yn ychwaneg.
7 Yr holl ddinasoedd a roddwch i'r Lefi-
aid, *fyddant* wyth ddinas a deugain, hwynt
a'u pentrefol feusydd.
8 A'r dinasoedd y rhai a roddwch, *fydd*
c Pen. 26. 54. o feddiant meibion Israel: c oddi ar yr aml
*eu dinasoedd,* y rhoddwch yn aml; ac oddi
ar y prin, y rhoddwch yn brin: pob un yn
ol ei etifeddiaeth a etifeddant, a rydd i'r
Lefiaid o'i ddinasoedd.
9 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, gan ddywedyd,
10 Llefara wrth feibion Israel, a dywed
d Deut. 19. 2. Jos. 20. 2. wrthynt, d Pan eloch dros yr Iorddonen i
dir Canaan;
e Exod. 21. 13. 11 Yna e gosodwch i chwi ddinasoedd;
dinasoedd noddfa fyddant i chwi: ac yno y
ffy'r llawruddiog a laddo ddyn mewn am-
ryfusedd.
12 A'r dinasoedd fyddant i chwi yn nodd-
fa rhag y dïalydd; fel na ladder y llawrudd-
iog, hyd oni safo ger bron y gynnulleidfa
mewn barn.
13 Ac o'r dinasoedd y rhai a rodd-
wch, chwech fydd i chwi yn ddinasoedd
noddfa.
f Deut. 4. 41. Jos. 20. 8. 14 f Tair dinas a roddwch o'r tu yma
i'r Iorddonen, a thair dinas a roddwch yn
nhir Canaan: dinasoedd noddfa fyddant
hwy.
15 I feibion Israel, ac i'r dïeithr, ac i'r
ymdeithydd *a fyddo* yn eu mysg, y bydd y
chwe dinas hyn yn noddfa; fel y gallo pob
un a laddo ddyn mewn amryfusedd, ffoi yno.
16 Ac g os ag offeryn haiarn y tarawodd g Exod. 21. 12, 14. Lef. 24. 17.
ef, fel y bu farw, llawruddiog *yw* efe: lladder
y llawruddiog yn farw.
17 Ac os â charreg law, yr hon y byddai
efe farw o'i phlegid, y tarawodd ef, a'i farw;
llawruddiog *yw* efe: lladder y llawruddiog
yn farw.
18 Neu *os* efe a'i tarawodd ef â llaw-
ffon, yr hon y byddai efe farw o'i phlegid,
a'i farw; llawruddiog *yw* efe: lladder y
llawruddiog yn farw.
19 Dïalydd y gwaed a ladd y llawrudd-
iog: pan gyfarfyddo ag ef, efe a'i lladd ef.
20 Ac h os mewn cas y gwthia efe ef, h Deut. 19. 11.
neu y teifl atto mewn bwriad, fel y byddo
efe farw;
21 Neu ei daro ef â'i law, mewn gala-
nasdra, fel y byddo farw: lladder yn farw
yr hwn a'i tarawodd; llofrudd *yw* hwnnw:
dïalydd y gwaed a ladd y llofrudd, pan gyf-
arfyddo ag ef.
22 Ond os yn ddisymmwth, i heb ala- i Exod. 21. 13.
nasdra, y gwthia efe ef, neu y teifl atto un
offeryn yn ddifwriad;
23 Neu *ei daro ef* â charreg, y byddai
efe farw o'i phlegid, heb *ei* weled *ef;* a
pheri *iddi* syrthio arno, fel y byddo farw,
ac efe heb *fod* yn elyn, ac heb geisio niweid
iddo ef:
24 Yna barned y gynnulleidfa rhwng y
tarawydd a dïalydd y gwaed, yn ol y barn-
edigaethau hyn.
25 Ac achubed y gynnulleidfa'r llofrudd
o law dïalydd y gwaed, a thröed y gynnull-
eidfa ef i ddinas ei noddfa, yr hon y ffodd
efe iddi: a thriged yntau ynddi hyd farw-
olaeth yr arch-offeiriad, k yr hwn a ennei- k Exod. 29. 7.
niwyd â'r olew cyssegredig. Lef. 4. 3.
26 Ac os y llofrudd gan fyned a â allan a 21. 10.
o derfyn dinas ei noddfa, yr hon y ffodd efe
iddi:
27 A'i gael o ddïalydd y gwaed allan o
derfyn dinas ei noddfa, a lladd o ddïalydd
y gwaed y llofrudd; † na *rodder hawl* gwaed † Heb. na bydd gwaed iddo.
yn ei erbyn:
28 Canys o fewn dinas ei noddfa y dyly
drigo, hyd farwolaeth yr arch-offeiriad: ac
wedi marwolaeth yr arch-offeiriad, dy-
chweled y llofrudd i dir ei etifeddiaeth.
29 A hyn fydd i chwi yn ddeddf farnedig
trwy eich cenhedlaethau, yn eich holl drig-
fannau.
30 Pwy bynnag a laddo ddyn, l wrth a l Deut. 17.
ddywedo tystion y lleddir y llofrudd: ac un 6. a 19. 15. Mat. 18. 16.
tyst ni chaiff dystiolaethu yn erbyn dyn, i 2 Cor. 13.
*beri iddo* farw. 1. Heb. 10. 28.
31 Hefyd, na chymmerwch iawn am ei-
nioes y llofrudd, yr hwn sydd euog i farw;
ond lladder ef yn farw.
32 Ac na chymmerwch iawn gan yr hwn
a ffodd i ddinas ei noddfa, er cael dy-
chwelyd i drigo yn y tir, hyd farwolaeth yr
offeiriad;
33 Fel na halogoch y tir *yr ydych* ynddo:
canys y gwaed hwn m a haloga'r tir: ‡ a'r m Mic. 4.
tir ni lanhëir oddi wrth y gwaed a dywallt- 11.
er arno, ond â gwaed yr hwn a'i tywallt- ‡ Heb.
odd. *ac nid ellir bod dim*
34 Am hynny nac aflanhâ'r tir y trigoch *iawn dros*
ynddo, yr hwn yr ydwyf fi yn preswylio yn *y tir.*
ei ganol: canys myfi'r ARGLWYDD *ydwyf*
yn preswylio ynghanol meibion Israel.

PEN. XXXVI.

Chwefr. 21. P. 1 *Bod yn rhaid i etifeddesau* 5 *brïodi yn eu*
*llwythau eu hunain;* 7 *rhag symmudo'r*
*etifeddiaeth oddi wrth y llwyth.* 10 *Merch-*
*ed Salphaad yn prïodi meibion eu hewythr*
*frawd eu tad.*

1451. PENNAU cenedl tylwyth meibion Gi-
lead, mab Machir, mab Manasseh, o
dylwyth meibion Joseph, a ddaethant hefyd,
ac a lefarasant ger bron Moses, a cher bron
y pennaduriaid, *sef* pennau cenedl mei-
bion Israel;
[a] Pen. 26. 2 Ac a ddywedasant, [a] Yr ARGLWYDD
55. a 33. 54. a orchymynodd i'm harglwydd roddi'r tir
yn etifeddiaeth i feibion Israel wrth goel-
[b] Pen. 27. bren: a'm [b] harglwydd a orchymynwyd
1, 7. gan yr ARGLWYDD, i roddi etifeddiaeth
Jos. 17. 3, 4. Salphaad ein brawd i'w ferched.
3 Os hwy a fyddant wragedd i rai o
feibion llwythau *eraill* meibion Israel; yna
y tynnir ymaith eu hetifeddiaeth hwynt
oddi wrth etifeddiaeth ein tadau ni, ac
a'i 'chwanegir at etifeddiaeth y llwyth y
byddant hwy eiddynt: a phrinheir ar randir
ein hetifeddiaeth ni.
[c] Lef. 25. 4 A phan fyddo [c] 'r jubili i feibion Israel,
10. yna y 'chwanegir eu hetifeddiaeth hwynt at
etifeddiaeth llwyth y rhai y byddant hwy
eiddynt: a thorrir eu hetifeddiaeth hwynt
oddi wrth etifeddiaeth llwyth ein tadau ni.
5 A gorchymynodd Moses i feibion Is-
rael, yn ol gair yr ARGLWYDD, gan ddy-
wedyd, Mae llwyth meibion Joseph yn dy-
wedyd yn union.
6 Dyma'r † gair a orchymynodd yr AR- † *peth.*
GLWYDD am ferched Salphaad, gan ddy-
wedyd, Byddant wragedd i'r *rhai* y byddo da
yn eu golwg eu hun; [d] ond i rai o dylwyth [d] Tob. 1. 9.
llwyth eu tad eu hun y byddant yn wragedd.
7 Felly ni threigla etifeddiaeth meibion
Israel o lwyth i lwyth: canys glynu a wna
pob un o feibion Israel yn etifeddiaeth
llwyth ei dadau ei hun.
8 A [e] phob merch yn etifeddu etifedd- [e] 1 Chron.
iaeth o lwythau meibion Israel, a fydd wraig 23. 22.
i un o dylwyth llwyth ei thad ei hun; fel yr
etifeddo meibion Israel bob un etifeddiaeth
ei dadau ei hun.
9 Ac na threigled etifeddiaeth o lwyth i
lwyth arall; canys llwythau meibion Israel
a lynant bob un yn ei etifeddiaeth ei hun.
10 Megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD
wrth Moses, felly y gwnaeth merched Sal-
phaad.
11 [f] Canys Malah, Tirsah, a Hoglah, a [f] Pen. 27.
Milcah, a Noah, merched Salphaad, fuant 1.
yn wragedd i feibion eu hewythredd.
12 ‡ *I wŷr* o dylwyth Manasseh, fab Jo- ‡ Heb.
seph, y buant yn wragedd; a thrigodd eu *rai oedd-*
hetifeddiaeth hwynt wrth lwyth tylwyth *ynt o.*
eu tad.
13 Dyma'r gorchymynion a'r barnedigae-
thau a orchymynodd yr ARGLWYDD i feib-
ion Israel, trwy law Moses, yn rhosydd
Moab, wrth yr Iorddonen, *yn agos* i Jericho.

---

# ¶ Pummed Llyfr MOSES, yr hwn a elwir DEUTERONOMIUM.

PEN. I.

Chwefr. 22. B. 1 *Araith Moses yn niwedd y ddeugeinfed*
*flwyddyn, yn adrodd ar fyrr eiriau yr holl*
*histori,* 6 *am addewid Duw,* 13 *am osod*
*swyddogion arnynt,* 19 *am ddanfon yr*
*yspïwŷr i chwilio'r wlad,* 34 *am ddigo-*
*faint Duw am eu hanghredinieth,* 41 *a'u*
*hanufudd-dod hwy.*

Cyn DYMA'r geiriau a ddywedodd Moses
Crist wrth holl Israel, o'r tu yma i'r Iordd-
1451. onen, yn yr anialwch, ar y rhos gyferbyn
† Neu, a'r † *môr* coch, rhwng Paran, a Thophel, a
*Suph.* Laban, a Haseroth, a Dizahab.
2 (*Taith* un diwrnod ar ddeg *sydd* o Ho-
reb, ffordd *yr eir* i fynydd Seir, hyd Cades-
Barnea)
3 A bu yn y ddeugeinfed flwyddyn,
yn yr unfed mis ar ddeg, ar y *dydd*
cyntaf o'r mis, i Moses lefaru wrth feib-
ion Israel, yn ol yr hyn oll a orchymyn-
asai'r ARGLWYDD iddo *ei ddywedyd*
wrthynt;
[a] Num. 21. 4 [a] Wedi iddo ladd Sehon brenhin yr
24, 33. Amoriaid, yr hwn oedd yn trigo yn Hes-
bon, ac Og brenhin Basan, yr hwn oedd yn
trigo yn Astaroth, o fewn Edrei;
5 O'r tu yma i'r Iorddonen, yngwlâd
Moab, y dechreuodd Moses egluro'r gyf-
raith hon, gan ddywedyd,
1490. 6 Yr ARGLWYDD ein Duw a lefarodd
wrthym ni yn Horeb, gan ddywedyd,
[b] Edrych [b] Digon i chwi drigo *hyd yn hyn* yn y my-
Exod. 19. 1. nydd hwn:
Num. 10. 7 Dychwelwch, a chychwynwch rhag-
11. och, ac ewch i fynydd yr Amoriaid, ac
‡ Heb. i'w holl ‡ gyfagos *leoedd;* i'r rhos, i'r
*gymmy-* mynydd, ac i'r dyffryn, ac i'r dehau, ac
*dogion.* i borthladd y môr, i dir y Canaaneaid,
ac i Libanus, hyd yr afon fawr, afon Eu-
phrates.
8 Wele, § rhoddais y wlad o'ch blaen § *gosodais.*
chwi: ewch i mewn, a pherchenogwch y
wlad yr hon a dyngodd yr ARGLWYDD
i'ch tadau chwi, i [c] Abraham, i Isaac, ac i [c] Gen. 12.
Jacob, ar *ei* rhoddi iddynt, ac i'w had ar eu 7. a 15. 18.
hol hwynt. a 17. 7, 8. a 26. 4. a
9 ¶ A [d] mi a leferais wrthych yr amser 28. 13.
hwnnw, gan ddywedyd, Ni allaf fi fy hun [d] Exod. 18.
eich cynnal chwi: 18.
10 Yr ARGLWYDD eich Duw a'ch llïos-
ogodd chwi; ac wele, [e] chwi heddyw fel ser [e] Gen. 15.
y nefoedd o lïosowgrwydd. 5.
11 ([f] ARGLWYDD DDUW eich tadau a'ch [f] 2 Sam. 24.
cynnyddo yn fil llïosoccach nag *ydych,* ac 3.
a'ch bendithio, [g] fel y llefarodd efe wrthych) [g] Gen. 15.
12 Pa wedd y dygwn fy hun eich blinder, 5. a 22. 17.
a'ch baich, a'ch ymryson chwi? a 26. 4.
13 Moeswch iwch' wŷr doethion, a de- Exod. 32. 13.
allus, a rhai hynod trwy eich llwythau;
fel y gosodwyf hwynt yn bennau arnoch
chwi.
14 Ac attebasoch fi, a dywedasoch, Da
*yw* gwneuthur y peth a ddywedaist.
15 Cymmerais gan hynny bennau eich
llwythau chwi, *sef* gwŷr doethion, a rhai
hynod, ac a'u ‖ gwneuthum hwynt yn ben- ‖ Heb.
nau arnoch; *sef* yn gapteniaid ar filoedd, *rhoddais.*
ac yn gapteniaid ar gantoedd, ac yn gap-
teniaid ar ddegau a deugain, ac yn gapten-
iaid ar ddegau, ac yn swyddogion yn eich
llwythau chwi.
16 A'r amser hwnnw y gorchymynais
i'ch barnwŷr chwi, gan ddywedyd, Gwran-
dêwch *ddadleuon* rhwng eich brodyr, a [i] barn- [h] Ioan 7.
wch yn gyfiawn rhwng gwr a'i [i] frawd, ac 24.
â'r dieithr *sydd* gyd ag ef. [i] Lef. 24. 22.

[k] Lef. 19. 17 [k] Na chydnabyddwch wynebau mewn
15. barn; gwrandewch ar y lleiaf, yn gystal ag
Pen. 16. 19. ar y mwyaf: nac ofnwch wyneb gwr; oble-
1 Sam. 16. gid [l] y farn *sydd* eiddo Duw: a'r peth a
7. fydd rhy galed i chwi, a ddygwch attaf fi,
Diar. 24. a mi a'i gwrandawaf.
23. 18 Gorchymynais i chwi hefyd yr amser
Iago 2. 1. hwnnw yr holl bethau *a ddylech* eu gwneu-
1 2 Chron. thur.
19. 16.
1490. 19 ¶ A phan fudasom o Horeb, ni a gerdd-
asom trwy'r holl anialwch mawr ac ofn-
adwy hwnnw, yr hwn a welsoch ffordd *yr*
*eir i* fynydd yr Amoriaid, fel y gorchymyn-
[m] Num. 13. asai'r ARGLWYDD ein Duw i ni: ac [m] a
26. ddaethom i Cades-Barnea.
20 A dywedais wrthych, Daethoch hyd
fynydd yr Amoriaid, yr hwn y mae'r AR-
GLWYDD ein Duw yn ei roddi i ni.
21 Wele 'r ARGLWYDD dy DDUW a
roddes y wlad o'th flaen: dos i fynu *a* pher-
chenoga *hi*, fel y llefarodd ARGLWYDD
DDUW dy dadau wrthyt; nac ofna, ac na
lwfrhâ.
22 ¶ A chwi oll a ddaethoch attaf, ac a
ddywedasoch, Anfonwn wŷr o'n blaen, a
hwy a chwiliant y wlad i ni, ac a fynegant
beth i ni am y ffordd yr awn i fynu ar hyd-
ddi, ac am y dinasoedd y deuwn i mewn
iddynt.
1490. 23 A'r peth oedd dda yn fy ngolwg: ac
[n] Num. 13. [n] mi a gymmerais ddeuddengwr o honoch,
3. un gwr o *bob* llwyth.
[o] Num. 13. 24 A [o] hwy a droisant, ac a aethant i fynu
22. i'r mynydd, ac a ddaethant hyd ddyffryn
Escol, ac a'i chwiliasant ef.
25 Ac a gymmerasant o ffrwyth y tir yn
eu llaw, ac a'i dygasant i wared attom ni,
ac a ddygasant air i ni drachefn, ac a ddy-
wedasant, Da *yw*'r wlad y mae'r AR-
GLWYDD ein Duw yn ei rhoddi i ni.
[p] Num. 14. 26 [p] Er hynny ni fynnech fyned i fynu,
1. ond gwrthryfelasoch yn erbyn gair yr AR-
GLWYDD eich Duw.
27 Grwgnachasoch hefyd yn eich pebyll,
a dywedasoch, Am gasâu o'r ARGLWYDD
nyni, y dug efe ni allan o dir yr Aipht i'n
rhoddi yn llaw'r Amoriaid, i'n difetha.
† Heb. 28 I ba le'r awn i fynu? ein brodyr † a'n
*doddasant* digalonnasant ni, gan ddywedyd, [q] Pobl fwy
*ein calon-* a ‡ hŵy nâ nyni *ydynt*; [r] dinasoedd mawr-
*nau.*
[q] Num. 13. ion a chaerog hyd y nefoedd: meibion [s] yr
29, 32, 33. Anaciaid hefyd a welsom ni yno.
‡ *thàlach.* 29 Yna y dywedais wrthych, Nac arswyd-
[r] Pen. 9. 1. wch, ac nac ofnwch rhagddynt hwy.
[s] Num. 13. 30 [t] Yr ARGLWYDD eich Duw, yr hwn
28. sydd yn myned o'ch blaen, efe a ymladd
[t] Exod. 14. drosoch, yn ol *yr hyn* oll a wnaeth *efe* eroch
14, 25. chwi yn yr Aipht o flaen eich llygaid;
Neh. 4. 20. 31 Ac yn yr anialwch, lle y gwelaist *fel*
[u] Pen. 32. [u] y'th ddug yr ARGLWYDD dy DDUW, fel
11, 12. y dwg gwr ei fab, yn yr holl ffordd a gerdd-
Esay 46. 3, asoch, nes eich dyfod i'r man yma.
4. a 63. 9. 32 Etto yn y peth hyn ni chredasoch chwi
Hos. 11. 3. yn yr ARGLWYDD eich Duw,
[x] Exod. 13. 33 [x] Yr hwn oedd yn myned o'ch blaen
21. chwi ar hŷd y ffordd, [y] i chwilio i chwi *am*
[y] Num. 10. *le* i wersyllu; y nos mewn tân, i ddangos i
33. chwi pa ffordd yr aech, a'r dydd mewn
Ezec. 20. 6. cwmmwl.
34 A chlybu'r ARGLWYDD lais eich
geiriau; ac a ddigiodd, ac a dyngodd, gan
ddywedyd,
[z] Num. 14. 35 [z] Dïau na chaiff yr un o'r dynion hyn,
22. o'r genhedlaeth ddrwg hon, weled y wlad
Psal. 95. 11. dda yr hon y tyngais ar ei rhoddi i'ch tadau
chwi;

36 [a] Oddi eithr Caleb mab Jephunneh: [a] Jos. 14. 9.
efe a'i gwel hi, ac iddo ef y rhoddaf y wlad
y sangodd efe arni, ac i'w feibion; o achos
[b] cyflawni o hono *wneuthur* ar ol yr AR- [b] Num. 14.
GLWYDD. 24.
37 [c] Wrthyf finnau hefyd y digiodd yr [c] Num. 20.
ARGLWYDD o'ch plegid chwi, gan ddy- 12. a 27. 14.
wedyd, Tithau hefyd ni chei fyned i mewn Pen. 3. 26.
yno. a 4. 21. a 34. 4.
38 Josua mab Nun, yr hwn sydd yn sefyll
ger dy fron di, efe a â i mewn yno: cadarn-
hâ di ef; canys efe a'i rhan hi'n etifeddi-
aeth i Israel.
39 Eich plant hefyd, y rhai y dywedas-
och y byddent yn yspail, a'ch meibion chwi,
y rhai ni wyddant heddyw na da na drwg,
hwynt-hwy a ant i mewn yno, ac iddynt
hwy y rhoddaf hi, a hwy a'i perchenog-
ant hi.
40 Trowch chwithau, ac ewch i'r anial-
wch ar hŷd ffordd y môr coch.
41 Yna yr attebasoch, ac a ddywedasoch
wrthyf, [d] Pechasom yn erbyn yr AR- [d] Num. 14.
GLWYDD: nyni a awn i fynu ac a ym- 40.
laddwn, yn ol yr hyn oll a orchymynodd
yr ARGLWYDD ein Duw i ni. A gwisgas-
och bob un ei arfau rhyfel, ac a ymroisoch
i fyned i fynu i'r mynydd.
42 A dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf,
Dywed wrthynt, Nac ewch i fynu, ac na
ryfelwch; oblegid nid ydwyf fi yn eich
mysg chwi; rhag eich taro o flaen eich ge-
lynion.
43 Felly y dywedais wrthych; ond ni
wrandawsoch, eithr gwrthryfelasoch yn er-
byn gair yr ARGLWYDD; rhyfygasoch he-
fyd, ac aethoch i fynu i'r mynydd.
44 A daeth allan yr Amoriaid, *oedd* yn
trigo yn y mynydd hwnnw, i'ch cyfarfod
chwi; ac a'ch ymlidiasant fel y gwnai
[e] gwenyn, ac a'ch difethasant chwi yn Seir, [e] Psal. 118.
hyd Hormah. 12.
45 A dychwelasoch, ac wylasoch ger bron
yr ARGLWYDD: ond ni wrandawodd yr
ARGLWYDD ar eich llef, ac ni roddes glust
i chwi.
46 Ac arhosasoch yn Cades ddyddiau
lawer, megis y dyddiau yr arhosasoch *o'r*
*blaen.*

PEN. II.

1 *Moses yn myned rhagddo yn yr histori; ac* Chwefr.
*yn dangos, nad oedd iddynt hwy a wnaent* 22. P.
*â'r Edomiaid,* 9 *na'r Moabiaid,* 17 *na'r*
*Ammoniaid;* 24 *ond gorchfygu a wnaeth-*
*ant Sehon yr Amoriad.*

YNA y troisom, ac yr aethom i'r anial- 1451.
wch, *ar hŷd* ffordd y môr coch, [a] fel [a] Num. 14.
y dywedasai'r ARGLWYDD wrthyf: ac a 25.
amgylchasom fynydd Seir ddyddiau lawer. Pen. 1. 40.
2 Llefarodd yr ARGLWYDD hefyd wrthyf,
gan ddywedyd,
3 [b] Digon i chwi amgylchu'r mynydd [b] Edrych
hwn *hyd yn hyn*: ymchwelwch rhagoch tu adn. 7, 14.
a'r gogledd.
4 A gorchymyn i'r bobl, gan ddywedyd,
[c] Yr *ydych* i dramwyo trwy derfynau eich [c] Num. 20.
brodyr, meibion Esau, y rhai sydd yn trigo 14.
yn Seir: a hwythau a ofnant rhagoch: ond
ymgedwch yn ddyfal.
5 Nac ymyrrwch arnynt: o herwydd ni
roddaf i chwi o'u tir hwynt gymmaint a
† lled troed; [d] canys yn etifeddiaeth i Esau † Heb.
y rhoddais fynydd Seir; *lled gwadn troed.*
6 Prynwch fwyd ganddynt am arian, fel [d] Gen. 36.
y bwytaoch; a phrynwch hefyd ddwfr gan- 8.
ddynt am arian, fel yr yfoch. Jos. 24. 4.

7 Canys yr ARGLWYDD dy DDUW a'th fendithiodd di yn holl waith dy law: gwybu dy gerdded yn yr anialwch mawr hwn: y deugain mlynedd hyn *y bu*'r ARGLWYDD dy DDUW gyd â thi, ni bu arnat eisiau dim.

8 Ac wedi ein myned heibio oddi wrth ein brodyr, meibion Esau, y rhai ydynt yn trigo yn Seir, o ffordd y rhos o Elath, ac o Esion-Gaber, ni a ddychwelasom, ac a aethom ar hyd ffordd anialwch Moab.

9 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrthyf, Na † orthrymma Moab, ac nac ymgynnull i ryfel yn eu herbyn hwynt: oblegid ni roddaf it' feddiant o'i dir ef; o herwydd i [e] feibion Lot y rhoddais [f] Ar yn etifeddiaeth.

† Neu, *una elyniaeth â.* [e] Gen. 19. 37. [f] Num. 21. 18.

10 ([g] Yr Emiaid o'r blaen a gyfaneddasant ynddi; pobl fawr ac aml, ac uchel fel [h] yr Anaciaid:

[g] Gen. 14. 5. [h] Num. 13. 23, 33.

11 Yn gawri y cymmerwyd hwynt hefyd, fel yr Anaciaid; a'r Moabiaid a'u galwent hwy yn Emiaid.

12 [i] Yr Horiaid hefyd a breswyliasant yn Seir o'r blaen; a meibion Esau a ‡ ddaeth ar eu hol hwynt, ac a'u difethasant o'u blaen, a thrigasant yn eu lle hwynt, fel y gwnaeth Israel i wlad ei etifeddiaeth yntau, yr hon a roddes yr ARGLWYDD iddynt)

[i] Gen. 14. 6. a 36. 20. ‡ Heb. *a'i hetifeddasant.*

13 *Yna y dywedais,* Cyfodwch yn awr, a thramwywch rhagoch dros § [k] afon Zared. A ni a aethom dros afon Zared.

§ Neu, *ddyffryn.* [k] Num. 21. 12.

14 A'r dyddiau y cerddasom o [l] Cades-Barnea, hyd pan ddaethom dros afon Zared, *oedd* onid dwy flynedd deugain; nes darfod holl genhedlaeth y gwŷr o ryfel o ganol y gwersyllau, fel y tyngasai 'r ARGLWYDD wrthynt.

[l] Num. 13. 26.

15 Canys llaw'r ARGLWYDD ydoedd yn eu herbyn hwynt, i'w torri hwynt o ganol y gwersyll, hyd oni ddarfuant.

16 ¶ A bu, wedi darfod yr holl ryfelwŷr, a'u marw o blith y bobloedd,

17 Lefaru o'r ARGLWYDD wrthyf, gan ddywedyd,

18 Tydi heddyw wyt ar fyned trwy derfynau Moab, *sef trwy* Ar.

19 A *phan* ddelech di gyferbyn â meibion Ammon, na orthrymma hwynt, ac nac ymyrr arnynt; oblegid ni roddaf feddiant o dir meibion Ammon i ti; canys rhoddais ef yn etifeddiaeth [m] i feibion Lot.

[m] Gen. 19. 38.

20 (Yn wlad cawri hefyd y cyfrifwyd hi: cawri a breswyliasant ynddi o'r blaen; a'r Ammoniaid a'u galwent hwy [n] yn Zamzummiaid:

[n] Gen. 14. 5, *Zuziaid.*

21 Pobl fawr ac aml, ac uchel fel yr Anaciaid. A'r ARGLWYDD a'u difethodd hwynt o'u blaen hwy; a hwy a ddaethant ar eu hol hwynt, ac a drigasant yn eu lle hwynt.

22 Fel y gwnaeth i feibion Esau, [o] y rhai sydd yn trigo yn Seir, pan ddifethodd efe yr Horiaid o'u blaen, fel y daethant ar eu hol hwynt, ac y trigasant yn eu lle hwynt, hyd y dydd hwn;

[o] Gen. 32. 3.

23 Felly *am* [p] yr Afiaid, y rhai oedd yn trigo yn Hascrim, hyd Azzah, [q] y Caphtoriaid, y rhai a ddaethant allan o Caphtor, a'u difethasant hwy, ac a drigasant yn eu lle hwynt)

[p] Jos. 13. 3. [q] Gen. 10. 14.

24 ¶ Cyfodwch, cychwynwch, ac [r] ewch dros afon Arnon: wele, rhoddais yn dy law di Sehon brenhin Hesbon, yr Amoriad, a'i wlad ef; ‖ dechreu eu meddiannu hi, a rhyfela yn ei erbyn ef.

[r] Num. 21. 13, 16. ‖ Heb. *dechreu, meddianna.*

25 Y dydd hwn y dechreuaf roddi dy arswyd a'th ofn di ar y bobloedd dan yr holl nefoedd: y rhai a glywant dy enw di, a ddychrynant, ac a lesgânt rhagot ti.

26 ¶ A [s] mi a anfonais genhadau o anialwch Cedemoth, at Sehon brenhin Hesbon, [t] â geiriau heddwch, gan ddywedyd,

[s] Num. 21. 21, 22. Barn. 11. 19.

27 Gad i mi fyned trwy dy wlad di: ar hyd y brif-ffordd y cerddaf; ni chiliaf i'r tu dehau nac i'r tu aswy.

[t] Pen. 20. 10.

28 Gwerth fwyd am arian i mi, fel y bwytâwyf; a dyro ddwfr am arian i mi, fel yr yfwyf: ar fy nhraed yn unig y tramwyaf,

29 ([u] Fel y gwnaeth meibion Esau i mi, y rhai sydd yn trigo yn Seir, a'r Moabiaid, y rhai sydd yn trigo yn Ar) hyd onid elwyf dros yr Iorddonen, i'r wlad y mae'r ARGLWYDD ein Duw yn ei rhoddi i ni.

[u] Edrych Pen. 23. 3, 4. Barn. 11. 17, 18.

30 Ond ni fynnai Sehon brenhin Hesbon ein gollwng heb ei law: oblegid [x] yr ARGLWYDD dy DDUW [y] a galedasai ei ysbryd ef, ac a gadarnhasai ei galon ef, er mwyn ei roddi ef yn dy law di; megis heddyw *y gwelir.*

[x] Jos. 11. 20. [y] Exod. 4. 21.

31 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrthyf, Wele, dechreuais roddi Sehon a'i wlad o'th flaen di: dechreu feddiannu, fel yr etifeddech ei wlad ef.

32 [z] Yna Sehon a ddaeth allan i'n cyfarfod ni, efe a'i holl bobl, i ryfel *yn* Jahas.

[z] Num. 21. 23.

33 Ond [a] yr ARGLWYDD ein DUW a'i rhoddes ef o'n blaen; ac [b] ni a'i tarawsom ef, a'i feibion, a'i holl bobl:

[a] Pen. 7. 2. a 20. 16. [b] Pen. 29. 7.

34 Ac a ynnillasom ei holl ddinasoedd ef yr amser hwnnw, ac [c] a ddifrodasom bob dinas, yn wŷr, yn wragedd, yn blant; ac ni adawsom un yngweddill.

[c] Lef. 27. 28.

35 Ond ysglyfaethasom yr anifeiliaid i ni, ac yspail y dinasoedd y rhai a ynnillasom.

36 [d] O Aroer, yr hon *sydd* ar fin afon Arnon, ac *o'r* ddinas *sydd* ar yr afon, a hyd at Gilead, ni bu ddinas a'r a ddiangodd rhagom: yr ARGLWYDD ein DUW a roddes y cwbl o'n blaen ni.

[d] Jos. 13. 9.

37 Yn unig ni ddaethost i dir meibion Ammon, *sef* holl lann afon [e] Jabboc, nac i ddinasoedd y mynydd, nac i'r holl *leoedd* a waharddasai 'r ARGLWYDD ein DUW i ni.

[e] Gen. 32. 22.

## PEN. III.

1 *Gorchfygu Og brenhin Basan:* 11 *maint ei wely ef.* 12 *Rhannu'r tiroedd hynny rhwng y ddau lwyth a hanner.* 23 *Gweddi Moses am gael myned i'r wlad;* 26 *a rhoddi iddo gennad i'w gweled hi.*

Chwefr. 23. B.

YNA y troisom, ac yr esgynasom *ar hyd* ffordd Basan: ac [a] Og brenhin Basan a ddaeth allan i'n cyfarfod ni, efe a'i holl bobl, i ryfel, i Edrei. 1451.

[a] Num. 21. 33, &c. Pen. 29. 7.

2 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrthyf, Nac ofna ef: oblegid yn dy law di y rhoddaf ef, a'i holl bobl, a'i wlad; a thi a wnai iddo fel y gwnaethost i [b] Sehon brenhin yr Amoriaid, yr hwn oedd yn trigo yn Hesbon.

[b] Num. 21. 24.

3 Felly'r ARGLWYDD ein DUW a roddes hefyd yn ein llaw ni [c] Og brenhin Basan, a'i holl bobl; ac ni a'i tarawsom ef, hyd na adawyd iddo un yngweddill:

[c] Num. 21. 33.

4 Ac a ynnillasom ei holl ddinasoedd ef yr amser hwnnw, *fel* nad oedd ddinas na's dygasom oddi arnynt; trugain dinas, holl wlad Argob, brenhiniaeth Og o fewn Basan.

5 Yr holl ddinasoedd hyn *oedd* gedyrn o furiau uchel, pyrth, a barrau, heb law dinasoedd heb furiau lawer iawn.

6 A difrodasom hwynt, fel y gwnaethom i

Sehon frenhin Hesbon, gan ddifrodi o bob
dinas y gwŷr, y gwragedd, a'r plant.
7 Ond yr holl anifeiliaid ac yspail y dinas-
oedd a 'sglyfaethasom i ni ein hunain.
8 A ni a gymmerasom yr amser hwnnw
o law dau frenhin yr Amoriaid y wlad o'r
tu yma i'r Iorddonen, o afon Arnon hyd
fynydd Hermon;
d Pen. 4. 48. 9 (Y Sidoniaid a alwant [d] Hermon yn
Sirion, a'r Amoriaid a'i galwant Senir)
10 Holl ddinasoedd y gwastad, a holl Gi-
e Jos. 12. 5. a 13. 11. lead, a [e] holl Basan hyd Selchah, ac Edrei,
dinasoedd brenhiniaeth Og o fewn Basan.
11 Oblegid Og brenhin Basan yn unig a
adawsid o weddill y cawri: wele, ei wely ef
*oedd* wely haiarn: onid *yw* hwnnw yn
f 2 Sam. 12. 26. Jer. 49. 2. Ezec. 21. 20. [f] Rabbath meibion Ammon? naw cufydd
*oedd* ei hyd, a phedwar cufydd ei led, wrth
gufydd gwr.
12 A'r wlad hon a berchenogasom ni yr
amser hwnnw, o Aroer yr hon *sydd* wrth
g Num. 32. 33. Jos. 13. 8, &c. afon Arnon, a hanner mynydd Gilead, [g] a'i
ddinasoedd ef a roddais i'r Reubeniaid ac
i'r Gadiaid.
13 A'r gweddill o Gilead, a holl Basan, *sef*
brenhiniaeth Og, a roddais i hanner llwyth
Manasseh; *sef* holl wlad Argob, a holl Ba-
san, yr hon a elwid Gwlad y cawri.
h 1 Chron. 2. 22. 14 [h] Jair mab Manasseh a gymmerth holl
wlad Argob, hyd fro Gesuri, a Maachathi; ac
a'u galwodd hwynt ar ei enw ei hun, Basan
i Num. 32. 41. i Hafoth-Jair, hyd y dydd hwn.
15 [k] Ac i Machir y rhoddais i Gilead.
k Num. 32. 39. 16 Ac i'r Reubeniaid, ac i'r Gadiaid, y
rhoddais o Gilead hyd afon Arnon, hanner
yr afon a'r terfyn, ac hyd yr afon Jabboc,
l Num. 21. 24. Jos. 12. 2. l terfyn meibion Ammon:
17 Hefyd y rhos, a'r Iorddonen, a'r terfyn
m Num. 34. 11. o [m] Cinnereth hyd fôr y rhos, *sef* y môr heli,
dan † Asdoth Pisgah, tu a'r dwyrain.
† Neu, *Ffynhonnau Pisgah*, neu, *y bryn*. 18 ¶ Gorchymynais hefyd i chwi 'r
amser hwnnw, gan ddywedyd, Yr AR-
GLWYDD eich DUW a roddes i chwi y wlad
hon i'w meddiannu: [n] ewch drosodd yn
n Num. 32. 20. arfog o flaen eich brodyr meibion Israel, pob
‡ Heb. *mab*. ‡ rhai pybyr *o honoch*.
19 Yn unig eich gwragedd, a'ch plant,
a'ch anifeiliaid (gwn fod llawer o anifeiliaid
i chwi) a drigant yn eich dinasoedd a rodd-
ais i chwi.
20 Hyd pan wnelo'r ARGLWYDD i'ch
brodyr orphwyso fel chwithau, a meddian-
nu o honynt hwythau y wlad y mae'r AR-
GLWYDD eich DUW yn ei rhoddi iddynt
o Jos. 22. 4. dros yr Iorddonen: *yna* [o] dychwelwch bob
un i'w etifeddiaeth a roddais i chwi.
p Num. 27. 18. 21 ¶ [p] Gorchymynais hefyd i Josua yr
amser hwnnw, gan ddywedyd, Dy lygaid
di a welsant yr hyn oll a wnaeth yr AR-
GLWYDD eich DUW i'r ddau frenhin hyn:
felly y gwna'r ARGLWYDD i'r holl deyr-
nasoedd yr ydwyt ti yn myned drosodd
attynt.
22 Nac ofnwch hwynt: oblegid yr AR-
GLWYDD eich DUW, efe a ymladd drosoch
chwi.
q Edrych 2 Cor. 12. 8, 9. 23 Ac [q] erfyniais ar yr ARGLWYDD yr
amser hwnnw, gan ddywedyd,
24 O ARGLWYDD DDUW, tydi a ddechreu-
aist ddangos i'th was dy fawredd, a'th law
r Psal. 86. 8. a 89. 6. gadarn: oblegid [r] pa DDUW *sydd* yn y nef-
oedd, neu ar y ddaear, yr hwn a weithreda
yn ol dy weithredoedd a'th nerthoedd di?
25 Gad i mi fyned drosodd, attolwg, a
gweled y wlad dda *sydd* dros yr Iorddonen,
a'r mynydd da hwnnw, a Libanus.

26 Ond yr ARGLWYDD [s] a ddigiasai s Num. 20.
wrthyf o'ch plegid chwi, ac ni wrandawodd 12. a 27. 14.
arnaf: ond dywedyd a wnaeth yr AR- Pen. 1. 37. a 31. 2. a
GLWYDD wrthyf, Digon *yw hynny* i ti, na 32. 51, 52.
'chwanega lefaru wrthyf mwy am y peth hyn. a 34. 4. Psal. 106.
27 [t] Dos i fynu i ben § Pisgah, a dyr- 32.
chafa dy lygaid tu a'r gorllewin, a'r gogledd, t Num. 27.
a'r dwyrain, ac edrych *arni* â'th lygaid: 12.
oblegid ni chai di fyned dros yr Iorddonen § Neu,
hon. *y bryn*.
28 [u] Gorchymyn hefyd i Josua, a nertha u Num. 27.
a chadarnhâ ef: oblegid efe a â drosodd o 18.
flaen y bobl yma, ac efe a ran iddynt yn eti-
feddiaeth y wlad yr hon a weli di.
29 Felly aros a wnaethom yn [x] y dyffryn x Pen. 34.
gyferbyn a Beth-peor. 6.

## PEN. IV.

1 *Annog y bobl i ufudd-dod.* 41 *Moses yn* Sul 3 ar ol
*apwyntio'r tair dinas noddfa, o'r tu hwnnw* y Pasg. B.
*i'r Iorddonen.* Chweir. 23. P.

BELLACH gan hynny, O Israel, gwrando 1451.
ar [a] y deddfau ac ar y barnedigaethau *yr* a Lef. 19.
*ydwyf* yn eu dysgu i chwi i'w gwneuthur; 37. a 20.
fel y byddoch byw, ac yr eloch, ac y medd- 8. a 22. 31.
iannoch y wlad y mae ARGLWYDD DDUW
eich tadau 'n ei rhoddi i chwi.
2 [b] Na 'chwanegwch at y gair yr ydwyf b Pen. 12.
yn ei orchymyn i chwi, ac na leihewch 32.
*ddim* o hono ef, gan gadw gorchymynion yr Jos. 1. 7. Diar. 30. 6.
ARGLWYDD eich DUW, y rhai *'r wyf fi* yn Preg. 12.
eu gorchymyn i chwi. 14.
3 Eich llygaid chwi oedd yn gweled yr Dat. 22. 18, 19.
hyn a wnaeth yr ARGLWYDD am [c] Baal- c Num. 25.
peor; oblegid pob gwr a'r a aeth ar ol 4, &c.
Baal-peor, yr ARGLWYDD dy DDUW a'i Jos. 22. 17.
difethodd ef o'th blith di.
4 Ond chwi y rhai oeddych yn glynu
wrth yr ARGLWYDD eich DUW, byw *ydych*
heddyw oll.
5 Wele, dysgais i chwi ddeddfau a barn-
edigaethau, fel y gorchymynodd yr AR-
GLWYDD fy NUW i mi; i wneuthur *o*
*honoch* felly, yn y wlad *yr ydych* ar fyned i
mewn iddi i'w meddiannu.
6 Cedwch gan hynny, a gwnewch *hwynt:*
oblegid hyn *yw* [d] eich doethineb, a'ch deall d Job 28.
chwi, yngolwg y bobloedd, y rhai a glywant 28.
yr holl ddeddfau hyn, ac a ddywedant, Yn Psal. 111. 10.
ddiau pobl ddoeth a deallus *yw*'r genedl Diar. 1. 7.
fawr hon.
7 Oblegid [e] pa genedl *mor* fawr, yr hon e 2 Sam. 7.
*y mae* [f] DUW iddi yn nesâu atti, fel yr AR- 23.
GLWYDD ein DUW ni, ym mhob *dim* a'r y f Psal. 46.
galwom arno? 1. a 145. 18. a 148.
8 A pha genedl *mor* fawr, yr hon *y mae* 14.
iddi ddeddfau a barnedigaethau cyfiawn, Esay 55. 6.
megis yr holl gyfraith hon yr ydwyf fi yn ei
rhoddi heddyw ger eich bron chwi?
9 Ond gochel arnat, a chadw dy enaid
yn ddyfal, rhag anghofio o honot y pethau
a welodd dy lygaid, a chilio o honynt allan
o'th galon di holl ddyddiau dy einioes;
ond [g] hyspysa hwynt i'th feibion, ac i feib- g Gen. 18.
ion dy feibion: 19.
10 *Sef* [h] y dydd y sefaist ger bron yr AR- Pen. 6. 7. a 11. 19.
GLWYDD dy DDUW yn Horeb, pan ddy- Psal. 78.
wedodd yr ARGLWYDD wrthyf, Cynnull i 5, 6.
mi 'r bobl, fel y gwnelwyf iddynt glywed h Exod. 19.
fy ngeiriau, y rhai a ddysgant i'm hofni i, 9, 16. a 20. 18.
yr holl ddyddiau y byddont fyw ar y ddaear, Heb. 12. 18.
ac y dysgont *hwynt* i'w meibion.
11 A nesasoch, a safasoch dan y mynydd; i Exod. 19.
a'r [i] mynydd oedd yn llosgi gan dân hyd 18.
† entrych awyr, yn dywyllwch, a chwm- † Heb. *galon y*
mwl, a thywyllwch dudew. *nefoedd*.

12 A'r ARGLWYDD a lefarodd wrthych o ganol y tân; *a* chwi a glywsoch lais y geiriau, ac nid oeddych yn gweled llun *dim*, ond llais.

13 Ac efe a fynegodd i chwi ei gyfammod a orchymynodd efe i chwi i'w wneuthur, *sef* [k] y dengair; ac [l] a'u 'sgrifenodd hwynt ar ddwy lech faen.

14 ¶ A'r [m] ARGLWYDD a orchymynodd i mi 'r amser hwnnw ddysgu i chwi ddeddfau, a barnedigaethau, i wneuthur o honoch hwynt yn y wlad yr ydych chwi yn myned iddi i'w meddiannu.

15 Gwyliwch gan hynny yn ddyfal ar eich eneidiau (oblegid ni welsoch ddim llun yn y dydd y llefarodd yr ARGLWYDD wrthych yn Horeb, o ganol y tân)

16 Rhag ymlygru o honoch, a [n] gwneuthur i chwi ddelw gerfiedig, cyffelybrwydd un ddelw, llun gwrryw neu fanyw,

17 Llun un anifail a'r *sydd* ar y ddaear, llun un aderyn asgellog a eheda yn yr awyr,

18 Llun [o] un ymlusgiad ar y ddaear, llun un pysgodyn a'r *y sydd* yn y dyfroedd dan y ddaear;

19 Hefyd rhag [p] dyrchafu o honot dy lygaid tu a'r nefoedd, a gweled yr haul, a'r lleuad, a'r ser, *sef* [q] holl lu'r nefoedd, a'th yrru di i ymgrymmu iddynt, a gwasanaethu o honot hwynt, y rhai a rannodd yr ARGLWYDD dy DDUW i'r holl bobloedd dan yr holl nefoedd.

20 Ond yr ARGLWYDD a'ch cymmerodd chwi, ac [r] a'ch dug chwi allan o'r pair haiarn, o'r Aipht, [s] i fod iddo ef yn bobl, yn etifeddiaeth; fel *y gwelir* y dydd hwn.

21 [t] A'r ARGLWYDD a ddigiodd wrthyf am eich geiriau chwi, ac a dyngodd nad awn i dros yr Iorddonen, ac na chawn fyned i mewn i'r wlad dda, yr hon y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei rhoddi i ti yn etifeddiaeth.

22 Oblegid [u] byddaf farw yn y wlad hon, ni chaf fi fyned dros yr Iorddonen: ond chwychwi a ewch drosodd, ac a feddiennwch y wlad dda honno.

23 Ymgedwch arnoch rhag anghofio cyfammod yr ARGLWYDD eich DUW, yr hwn a ammododd efe â chwi, a gwneuthur o honoch i chwi ddelw gerfiedig, llun dim oll [x] a waharddodd yr ARGLWYDD dy DDUW i ti.

24 Oblegid [y] yr ARGLWYDD dy DDUW sydd dân ysol, *a* Duw [z] eiddigus.

25 ¶ Pan genhedlych feibion, ac wyrion, a hir-drigo o honoch yn y wlad, ac ymlygru o honoch, a gwneuthur o honoch ddelw gerfiedig, llun dim, a gwneuthur drygioni yngolwg yr ARGLWYDD dy DDUW i'w ddigio ef;

26 [a] Galw 'r ydwyf yn dystion yn eich erbyn chwi heddyw y nefoedd a'r ddaear, gan ddarfod y derfydd am danoch yn fuan oddi ar y tir yr ydych yn myned dros yr Iorddonen iddo i'w feddiannu: nid estynnwch ddyddiau ynddo, ond gan ddifetha y'ch difethir.

27 A'r ARGLWYDD [b] a'ch gwasgara chwi ym mhlith y bobloedd, a chwi a adewir yn ddynion anaml ym mysg y cenhedloedd, y rhai y dwg yr ARGLWYDD chwi attynt:

28 Ac [c] yno y gwasanaethwch dduwiau *o* waith dwylaw dyn, *sef* pren a maen, [d] y rhai ni welant, ac ni chlywant, ac ni fwytânt, ac ni aroglant.

k Exod. 34. 28.
l Exod. 24. 12.
m Exod. 21. 1.
n Exod. 20. 4, 5.
o Rhuf. 1. 23.
p Pen. 17. 3. Job 31. 26.
q Gen. 2. 1.
r 1 Bren. 8. 51. Jer. 11. 4.
s Exod. 19. 5.
t Num. 20. 12. Pen. 1. 37.
u Edrych 2 Petr 1. 13, 14, 15.
x Exod. 20. 4, 5.
y Pen. 9. 3. Esay 33. 14. Heb. 12. 29.
z Exod. 20. 5. Esay 42. 8.
a Esay 1. 2. Mic. 6. 2.
b Lef. 26. 33. Pen. 28. 62. Neh. 1. 8.
c Pen. 28. 64. Jer. 16. 13.
d Psal. 115. 4, 5. a 135. 15. Esay 44. 9. a 46. 7.

29 [e] Os oddi yno y ceisi 'r ARGLWYDD dy DDUW, ti a'i cai ef, os ceisi ef â'th holl galon, ac â'th holl enaid.

30 Pan gyfyngo arnat, a † digwyddo 'r holl bethau hyn i ti, yn y dyddiau diweddaf, os dychweli at yr ARGLWYDD dy DDUW, a gwrando ar ei lais ef:

31 (O herwydd yr ARGLWYDD dy DDUW *sydd* DDUW trugarog) ni edy efe di, ac ni'th ddifetha, ac nid anghofia gyfammod dy dadau, yr hwn a dyngodd efe wrthynt.

32 Canys ymofyn yn awr am y dyddiau gynt, a fu o'th flaen di, o'r dydd y creodd Duw ddyn ar y ddaear, ac [f] o'r *naill* gwrr i'r nefoedd hyd y cwrr *arall* i'r nefoedd, a fu megis y mawrbeth hwn, neu a glybuwyd ei gyffelyb ef:

33 [g] A glybu pobl lais Duw yn llefaru o ganol y tân, fel y clywaist ti, a byw?

34 A brofodd *un* Duw ddyfod i gymmeryd iddo genedl o ganol cenedl, [h] trwy brofedigaethau, trwy arwyddion, a thrwy ryfeddodau, a thrwy ryfel, a thrwy law gadarn, a thrwy fraich estynedig, a thrwy ofn mawr, fel yr hyn oll a wnaeth yr ARGLWYDD eich Duw eroch chwi yn yr Aipht yngŵydd dy lygaid?

35 Gwnaethpwyd i ti weled *hynny*, i wybod mai'r ARGLWYDD *sydd* DDUW, [i] nad *oes* neb arall ond efe.

36 [k] O'r nefoedd y parodd i ti glywed ei lais, i'th hyfforddi di; ac ar y ddaear y parodd i ti weled ei dân mawr, a thi a glywaist o ganol y tân ei eiriau ef.

37 Ac o achos iddo garu dy dadau, am hynny y dewisodd efe eu had hwynt ar eu hol; ac [l] a'th ddug di o'i flaen, â'i fawr allu, allan o'r Aipht:

38 I yrru cenhedloedd mwy a chryfach nâ thi ymaith o'th flaen di, i'th ddwyn di i mewn, i roddi i ti eu gwlad hwynt yn etifeddiaeth, fel heddyw.

39 Gwybydd gan hynny heddyw, ac ystyria yn dy galon, mai'r [m] ARGLWYDD *sydd* DDUW yn y nefoedd oddi arnodd, ac ar y ddaear oddi tanodd; *ac* nid neb arall.

40 Cadw dithau ei ddeddfau ef, a'i orchymynion, y rhai *yr ydwyf* yn eu gorchymyn i ti heddyw; fel y byddo yn dda i ti, ac i'th feibion ar dy ol di, fel yr estynech ddyddiau ar y ddaear, yr hon y mae'r ARGLWYDD dy DDUW 'n ei rhoddi i ti byth.

41 ¶ Yna Moses [n] a neillduodd dair dinas o'r tu yma i'r Iorddonen, tu a chodiad haul;

42 [o] I gael o'r llofrudd ffoi yno, yr hwn a laddai ei gymmydog yn amryfus, ac efe heb ei gasâu o'r blaen; fel y gallai ffoi i un o'r dinasoedd hynny, a byw:

43 *Sef* [p] Beser yn yr anialwch, yngwastadtir y Reubeniaid; a Ramoth yn Gilead y Gadiaid; a Golan o fewn Basan y Manassiaid.

44 ¶ A dyma'r gyfraith a osododd Moses o flaen meibion Israel:

45 Dyma'r tystiolaethau, a'r deddfau, a'r barnedigaethau, a lefarodd Moses wrth feibion Israel, gwedi eu dyfod allan o'r Aipht;

46 Tu yma i'r Iorddonen, [q] yn y dyffryn, ar gyfer Beth-peor, yngwlâd Sehon brenhin yr Amoriaid, yr hwn oedd yn trigo yn Hesbon, yr hwn [r] a darawsai Moses a meibion Israel, wedi eu dyfod allan o'r Aipht:

47 Ac a berchenogasant ei wlad ef, a gwlad [s] Og brenhin Basan, dau o frenhinoedd yr Amoriaid, y rhai *oedd* tu yma i'r Iorddonen, tu a chodiad haul;

e Lef. 26. 39. Pen. 30. 1. 2 Chron. 15. 4. Neh. 1. 9.
† Heb. *a chael o'r holl bethau hyn di.*
f Mat. 24. 31.
g Exod. 24. 11. a 33. 20.
h Pen. 7. 19. a 29. 3.
i Pen. 32. 39. Esay 45. 5, 18, 22. Marc 12. 29, 32.
k Exod. 19. 9, 19. a 20. 18, 22. a 24. 16. Heb. 12. 18.
l Exod. 13. 3, 9, 14.
m Jos. 2. 11.
n Num. 35. 6, 14.
o Pen. 19. 4.
p Jos. 20. 8.
q Pen. 3. 29.
r Num. 21. 24. Pen. 1. 4.
s Num. 21. 33. Pen. 3. 3.

t Pen. 3. 9. Psal. 133. 3.
48 O Aroer, yr hon *oedd* ar lann afon Arnon, hyd fynydd Sïon, hwn *yw* [t] Hermon;

u Pen. 3. 17. † Ffynhonnau.
49 A'r holl ros tu hwnt i'r Iorddonen tu a'r dwyrain, a hyd at fôr y rhos, dan [u] † Asdoth Pisgah.

## PEN. V.

Sul 3 ar ol y Pasg. P. Chwefr. 25. B.
1 *Y cyfammod yn Horeb.* 6 *Y deg gorchymyn.* 22 *Moses, ar ddeisyfiad y bobl, yn derbyn y gyfraith gan Dduw.*

1451.
A Moses a alwodd holl Israel, ac a ddywedodd wrthynt, Clyw, O Israel, y deddfau a'r barnedigaethau yr ydwyf yn eu llefaru lle y clywoch heddyw; fel y byddo i chwi eu dysgu, a'u cadw, † a'u gwneuthur.
† Heb. i'w.

1491.
a Exod. 19. 5.
2 [a] Yr ARGLWYDD ein DUW a wnaeth gyfammod â ni yn Horeb.

b Edrych Mat. 13. 17. Heb. 8. 9.
3 [b] Nid â'n tadau ni y gwnaeth yr ARGLWYDD y cyfammod hwn, ond â nyni; nyni, y rhai *ydym* yn fyw bob un yma heddyw.

c Exod. 19. 9, 19.
4 [c] Wyneb yn wyneb yr ymddiddanodd yr ARGLWYDD â chwi yn y mynydd, o ganol y tân,

d Exod. 19. 16. a 20. 18.
5 (Myfi oeddwn yr amser hwnnw yn sefyll rhwng yr ARGLWYDD a chwi, i fynegi i chwi air yr ARGLWYDD: canys [d] ofni a wnaethoch rhag y tân, ac nid esgynech i'r mynydd) gan ddywedyd,

e Exod. 20. 2, &c. Lef. 26. 1. Psal. 81. 10. ‡ Heb. gweision.
6 ¶ [e] Yr ARGLWYDD dy DDUW *ydwyf* fi, yr hwn a'th ddug allan o dir yr Aipht, o dŷ y ‡ caethiwed.

7 Na fydded i ti dduwiau eraill ger fy mron i.

8 Na wna it' ddelw gerfiedig, *na* llun *dim* a'r *y sydd* yn y nefoedd oddi uchod, nac a'r *y sydd* yn y ddaear oddi isod, nac a'r *y sydd* yn y dyfroedd oddi tan y ddaear.

f Exod. 34. 7.
9 Nac ymgrymma iddynt, ac na wasanaetha hwynt: oblegid myfi 'r ARGLWYDD dy DDUW *ydwyf* DDUW eiddigus, [f] yn ymweled ag anwiredd y tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd *genhedlaeth* o'r rhai a'm casânt;

g Jer. 32. 18.
10 [g] Ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai a'm carant, ac a gadwant fy ngorchymynion.

h Lef. 19. 12. Mat. 5. 33.
11 [h] Na chymmer enw 'r ARGLWYDD dy DDUW yn ofer: canys nid dïeuog gan yr ARGLWYDD yr hwn a gymmero ei enw ef yn ofer.

12 Cadw 'r dydd Sabboth i'w sancteiddio ef, fel y gorchymynodd yr ARGLWYDD dy DDUW it'.

i Exod. 23. 12. a 35. 2. Ezec. 20. 12.
13 [i] Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnai dy holl waith:

k Gen. 2. 2. Heb. 4. 4.
14 Ond y seithfed dydd *yw* [k] Sabboth yr ARGLWYDD dy DDUW: na wna *ynddo* ddim gwaith, tydi, na'th fab, na'th ferch, na'th was, na'th forwyn, na'th ŷch, na'th asyn, nac yr un o'th anifeiliaid, na'th ddïeithrddyn yr hwn *fyddo* o fewn dy byrth; fel y gorphwyso dy was a'th forwyn, fel ti dy hun.

15 A chofia mai gwas a fuost ti yngwlâd yr Aipht, a'th ddwyn o'r ARGLWYDD dy DDUW allan oddi yno â llaw gadarn, ac â braich estynedig: am hynny y gorchymynodd yr ARGLWYDD dy DDUW i ti gadw dydd y Sabboth.

l Lef. 19. 3. Pen. 27. 16. Eph. 6. 2, 3. Col. 3. 20.
16 ¶ [l] Anrhydedda dy dad a'th fam, fel y gorchymynodd yr ARGLWYDD dy DDUW i ti; fel yr estyner dy ddyddiau, ac fel y byddo yn dda i ti ar y ddaear yr hon y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei rhoddi i ti.

17 [m] Na ladd. m Mat. 5. 21.

18 [n] Ac na wna odineb. n Luc 18. 20.

19 [o] Ac na ladratta.

20 Ac na ddwg gam dystiolaeth yn erbyn dy gymmydog. o Rhuf. 13. 9.

21 Ac [p] na chwennych wraig dy gymmydog, ac na chwennych dŷ dy gymmydog, na'i faes, na'i was, na'i forwyn, na'i ŷch, na'i asyn, na dim a'r *y sydd* eiddo dy gymmydog. p Rhuf. 7. 7.

22 ¶ Y geiriau hyn a lefarodd yr ARGLWYDD wrth eich holl gynnulleidfa yn y mynydd, o ganol y tân, y cwmmwl, a'r tywyllwch, â llais uchel; ac ni 'chwanegodd *ddim;* ond [q] 'sgrifenodd hwynt ar ddwy lech o gerrig, ac a'u rhoddes attaf fi. q Exod. 24. 12.

23 [r] A darfu, wedi clywed o honoch y llais o ganol y tywyllwch (a'r mynydd yn llosgi gan dân) ynna nesasoch attaf, *sef* holl bennaethiaid eich llwythau, a'ch henuriaid chwi; r Exod. 20. 19.

24 Ac a ddywedasoch, Wele 'r ARGLWYDD ein DUW a ddangosodd i ni ei ogoniant, a'i fawredd; [s] a'i lais ef a glywsom ni o ganol y tan: heddyw y gwelsom lefaru o DDUW wrth ddyn, [t] a byw o hono. s Exod. 19. 19. t Pen. 4. 33. Barn. 13. 22.

25 Weithian gan hynny pa ham y byddwn feirw? oblegid y tân mawr hwn a'n difa ni: canys os nyni a 'chwanegwn glywed llais yr ARGLWYDD ein DUW mwyach, marw a wnawn.

26 Oblegid pa gnawd oll *sydd,* yr hwn a glybu lais y DUW byw yn llefaru o ganol y tân, fel nyni, ac a fu fyw?

27 Nesâ di, a chlyw'r hyn oll a ddywaid yr ARGLWYDD ein DUW; a [u] llefara di wrthym ni yr hyn oll a lefaro 'r ARGLWYDD ein DUW wrthyt ti: a nyni a wrandâwn, ac a wnawn *hynny.* u Exod. 20. 19. Heb. 12. 19.

28 A'r ARGLWYDD a glybu lais eich geiriau chwi, pan lefarasoch wrthyf; a dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf, Clywais lais geiriau 'r bobl hyn, y rhai a lefarasant wrthyt: [x] da y dywedasant yr hyn oll a ddywedasant. x Pen. 18. 17.

29 [y] Oh na byddai gyfryw galon ynddynt, i'm hofni i, ac i gadw fy holl orchymynion bob amser; fel y byddai da iddynt ac i'w plant yn dragywyddol! y Pen. 32. 29. Psal. 81. 13. Esay 48. 18. Mat. 23. 37.

30 Dos, dywaid wrthynt, Dychwelwch i'ch pebyll.

31 Ond saf di yma gyd â myfi; a mi a ddywedaf wrthyt yr holl orchymynion, a'r deddfau, a'r barnedigaethau a ddysgi di iddynt, ac a wnant hwythau yn y wlad yr wyf fi ar ei rhoddi iddynt i'w pherchenogi.

32 Edrychwch gan hynny am wneuthur fel y gorchymynodd yr ARGLWYDD eich DUW i chwi: [z] na chiliwch i'r tu dehau nac i'r tu aswy. z Jos. 1. 7.

33 Cerddwch yn yr holl ffyrdd a orchymynodd yr ARGLWYDD eich DUW i chwi; fel y byddoch fyw, ac y byddo yn dda i chwi, ac yr estynoch ddyddiau yn y wlad yr hon a feddiennwch.

## PEN. VI.

1 *Diwedd y gyfraith yw ufudd-dod.* 3 *Annog i ufuddhâu.* Sul 4 ar ol y Pasg, B. Chwefr. 25. P.

A Dyma'r gorchymynion, y deddfau, a'r barnedigaethau a orchymynodd yr ARGLWYDD eich DUW eu dysgu i chwi; *fel* y gwneloch *hwynt* yn y wlad yr ydych † yn myned iddi i'w meddiannu: 1451. † Heb. yn myned trosodd.

2 Fel yr ofnech yr ARGLWYDD dy
DDUW, gan gadw ei holl ddeddfau, a'i or-
chymynion ef, y rhai yr wyf fi yn eu gor-
chymyn i ti; ti, a'th fab, a mab dy fab,
holl ddyddiau dy einioes; ac fel yr estyner
dy ddyddiau.
3 ¶ Clyw gan hynny, O Israel, ac edrych
am eu gwneuthur *hwynt;* fel y byddo 'n
ddaionus i ti, ac fel y cynnyddoch yn ddir-
fawr, fel yr addawodd ARGLWYDD DDUW
dy dadau i ti, mewn [a] gwlad yn llifeirio o
laeth a mel.
4 [b] Clyw, O Israel; Yr ARGLWYDD ein
Duw ni *sydd* un ARGLWYDD.
5 [c] Car di gan hynny 'r ARGLWYDD dy
DDUW â'th holl galon, ac â'th holl enaid,
ac â'th holl nerth.
6 [d] A bydded y geiriau hyn, yr ydwyf yn
eu gorchymyn i ti heddyw, yn dy galon.
7 A [e] † hyspysa hwynt i'th blant; a chry-
bwyll am danynt pan eisteddych yn dy dŷ,
a phan gerddych ar y ffordd, a phan orwedd-
ych *i lawr,* a phan gyfodych *i fynu.*
8 A [f] rhwym hwynt yn arwydd ar dy law;
byddant yn rhactalau rhwng dy lygaid.
9 [g] Ysgrifena hwynt hefyd ar byst dy dŷ,
ac ar dy byrth.
10 Ac fe a dderfydd, wedi i'r ARGLWYDD
dy DDUW dy ddwyn di i'r wlad (yr hon y
tyngodd efe wrth dy dadau, wrth Abraham,
wrth Isaac, ac wrth Jacob, ar ei rhoddi i ti)
*i* ddinasoedd mawrion a theg [h] y rhai nid
adeiledaist,
11 A thai llawnion o bob daioni y rhai
ni's llenwaist, a phydewau cloddiedig y
rhai ni's cloddiaist, i winllannoedd ac ole-
wyddlannau y rhai ni's plennaist, [i] wedi
it' fwytta, a'th ddigoni;
12 *Yna* cadw arnat, rhag anghofio o honot
yr ARGLWYDD, yr hwn a'th ddug allan o
wlad yr Aipht, o dŷ 'r ‡ caethiwed.
13 Yr ARGLWYDD dy DDUW [k] a ofni, ac
ef a wasanaethi, ac i'w enw ef [l] y tyngi.
14 Na cherddwch ar ol duwiau dieithr,
o dduwiau 'r bobloedd *sydd* o'ch amgylch
chwi:
15 (Oblegid Duw eiddigus *yw*'r AR-
GLWYDD dy DDUW yn dy fysg di) rhag i
lid yr ARGLWYDD dy DDUW ennyn yn
dy erbyn, a'th ddifetha di oddi ar wyneb y
ddaear.
16 ¶ [m] Na themtiwch yr ARGLWYDD eich
Duw, [n] fel y temtiasoch *ef* ym Massah.
17 Gan gadw cedwch orchymynion yr AR-
GLWYDD eich Duw, a'i dystiolaethau, a'i
ddeddfau, y rhai a orchymynodd efe i ti.
18 A gwna '*r hyn sydd* union a daionus
yngolwg yr ARGLWYDD: fel y byddo da i
ti, a myned o honot i mewn, a pherchen-
ogi 'r wlad dda, yr hon trwy lw a addaw-
odd yr ARGLWYDD i'th dadau di;
19 [o] Gan yrru ymaith dy holl elynion
o'th flaen, fel y llefarodd yr ARGLWYDD.
20 Pan ofyno dy fab i ti § wedi hyn,
gan ddywedyd, Beth *yw* 'r tystiolaethau,
a'r deddfau, a'r barnedigaethau, a orchy-
mynodd yr ARGLWYDD ein Duw i chwi?
21 Yna dywaid wrth dy fab, Ni a fuom
gaeth-weision i Pharaoh yn yr Aipht; a'r
ARGLWYDD a'n dug ni allan o'r Aipht [p] â
llaw gadarn.
22 Rhoddes yr ARGLWYDD hefyd ar-
wyddion, a rhyfeddodau mawrion a ni-
weidiol, ar yr Aipht, ar Pharaoh a'i holl dŷ,
yn ein golwg ni;
23 Ac a'n dug ni allan oddi yno, fel y

[a] Exod. 3. 8. [b] Marc 12. 29. Ioan 17. 3. 1 Cor. 8. 4, 6. [c] Pen. 10. 12. Mat. 22. 37. Marc 12. 30. Luc 10. 27. [d] Pen. 11. 18. Psal. 37. 31. a 40. 8. a 119. 98. Esay 51. 7. [e] Pen. 4. 9. a 11. 19. † Heb. *hoga, neu, llymhâ.* [f] Exod. 13. 9, 16. Diar. 3. 3. a 6. 21. a 7. 3. [g] Pen. 11. 20. Esay 57. 8. [h] Psal. 105. 44. [i] Pen. 8. 10, &c. ‡ Heb. *caethwŷr, neu, gweision.* [k] Pen. 10. 12, 20. a 13. 4. Mat. 4. 10. Luc 4. 8. [l] Psal. 63. 11. Esay 45. 23. a 65. 16. Jer. 4. 2. a 5. 7. a 12. 16. [m] Mat. 4. 7. Luc 4. 12. [n] Exod. 17. 2. Num. 20. 3, 4. [o] Num. 33. 52. § Heb. *y foru.* [p] Exod. 3. 19. a 13. 3.

dygai efe nyni i mewn, i roddi i ni y
wlad yr hon trwy lw a addawsai efe i'n
tadau ni.
24 A'r ARGLWYDD a orchymynodd i ni
wneuthur yr holl ddeddfau hyn, i ofni 'r
ARGLWYDD ein Duw, er daioni i ni 'r holl
ddyddiau; fel y cadwai efe nyni yn fyw,
megis *y mae* y dydd hwn.
25 A [q] chyfiawnder a fydd i ni, os ym-
gadwn i wneuthur y gorchymynion hyn oll,
o flaen yr ARGLWYDD ein Duw, fel y
gorchymynodd efe i ni.

PEN. VII.

1 *Gwahardd pob cyfeillach â'r cenhedloedd,* 4 *rhag ofn delw-addoliaeth,* 6 *o ran sancteiddrwydd y bobl,* 9 *o ran naturiaeth Duw yn ei drugaredd a'i gyfiawnder,* 17 *o ran sicred yw'r oruchafiaeth a rydd Duw arnynt.*

Sul 4 ar ol y Pasg, P. Chwefr. 96. B.

1451.

PAN y'th ddygo 'r [a] ARGLWYDD dy
DDUW i mewn i 'r wlad *yr ydwyt* ti yn
myned iddi i'w meddiannu, a gyrru o hono
ymaith genhedloedd lawer o'th flaen di, [b] yr
Hethiaid, a'r Girgasiaid, a'r Amoriaid, a'r
Canaaneaid, a'r Phereziaid, a'r Hefiaid, a'r
Jebusiaid, saith o genhedloedd lliosoccach a
chryfach nâ thydi;
2 A rhoddi o'r ARGLWYDD dy DDUW
hwynt o'th flaen di, a tharo o honot ti
hwynt: [c] gan ddifrodi difroda hwynt; [d] na
wna gyfammod â hwynt, ac na thrugarhâ
wrthynt.
3 [e] Nac ymgyfathracha chwaith â hwynt;
na ddod dy ferch i'w fab ef, ac na chymmer
ei ferch ef i'th fab dithau.
4 Canys efe a dry dy fab di oddi ar fy
ol i, fel y gwasanaethont dduwiau dieithr:
felly yr ennyn llid yr ARGLWYDD i'ch
erbyn chwi, ac a'th ddifetha di yn eb-
rwydd.
5 Ond fel hyn y gwnewch iddynt: [f] Di-
nystriwch eu hallorau, a thorrwch eu co-
lofnau hwynt; cwympwch hefyd eu llwyn-
au, a llosgwch eu delwau cerfiedig hwy yn y
tân.
6 [g] Canys pobl sanctaidd *ydwyt* ti i'r
ARGLWYDD dy DDUW: [h] yr ARGLWYDD
dy DDUW a'th ddewisodd di i fod yn bobl
unig iddo ei hun, o'r holl bobloedd *sydd* ar
wyneb y ddaear.
7 Nid am eich bod yn lliosoccach nâ 'r
holl bobloedd, yr hoffodd yr ARGLWYDD
chwi, ac y'ch dewisodd; o herwydd *yr
oeddych* chwi yn anamlaf o'r holl bobl-
oedd:
8 Ond [i] o herwydd caru o'r ARGLWYDD
chwi, ac er mwyn cadw o hono ef y llw a
dyngodd efe wrth eich tadau, y dug yr AR-
GLWYDD chwi allan â llaw gadarn, ac a'ch
gwaredodd o dŷ 'r caethiwed, o law Pharaoh
brenhin yr Aipht.
9 Gwybydd gan hynny mai 'r AR-
GLWYDD dy DDUW *sydd* DDUW, *sef* y Duw
[k] ffyddlon, [l] yn cadw cyfammod a thrugar-
edd â'r rhai a'i carant ef, ac a gadwant ei
orchymynion, hyd fil o genhedlaethau;
10 Ac [m] yn talu 'r pwyth i 'w gas, yn ei
wyneb, gan ei ddifetha ef: nid oeda efe i'w
gas; yn ei wyneb y tâl efe iddo.
11 Cadw gan hynny y gorchymynion, a'r
deddfau, a'r barnedigaethau, y rhai yr
ydwyf fi yn eu gorchymyn i ti heddyw,
i'w gwneuthur.
12 ¶ A [n] bydd, o achos gwrando o honoch
ar y barnedigaethau hyn, a'u cadw, a'u
gwneuthur hwynt; y ceidw 'r ARGLWYDD

[q] Rhuf. 10. 5. [a] Pen. 31. 3. [b] Gen. 15. 19. [c] Lef. 27. 21, 28. Num. 33. 52. Jos. 6. 17. a 8. 24. a 10. 28, 40. a 11. 11, 12. [d] Exod. 23. 32. a 34. 12, 15, 16. Edrych Pen. 20. 10. Jos. 2. 14. a 9. 18. Barn. 1. 24. Mat. 1. 5. [e] 1 Bren. 11. 2. [f] Exod. 23. 24. [g] Pen. 14. 2. a 26. 19. [h] Exod. 19. 5. Amos 3. 2. 1 Petr 2. 9. [i] Pen. 10. 15. [k] Esay 49. 7. 1 Cor. 1. 9. a 10. 13. 2 Cor. 1. 18. 1 Thes. 5. 24. 2 Thes. 3. 3. 2 Tim. 2. 13. Heb. 11. 11. 1 Ioan 1. 9. [l] Exod. 20. 6. [m] Nah. 1. 2. [n] Lef. 26. 3. Pen. 28. 1.

dy Dduw â thi y cyfammod, a'r drugaredd,
a addawodd efe trwy lw i'th dadau di:
13 Ac a'th gâr, ac a'th fendithia, ac a'th
amlhâ di; ac a fendiga ffrwyth dy fru, a
ffrwyth dy dir di, dy ŷd, a'th olew, *a* chyn-
nydd *dy* wartheg, a diadellau dy ddefaid, yn
y tir y tyngodd efe wrth dy dadau, ar ei
roddi i ti.
14 Bendigedig fyddi uwch law'r holl bobl-
o Exod. 23. oedd: o ni bydd yn dy blith di un gwrryw
26, &c. nac un fenyw yn anffrwythlon, nac ym
mhlith dy anifeiliaid di.
15 Hefyd yr Arglwydd a dynn oddi
wrthyt ti bob gwendid, ac ni esyd arnat ti'r
p Exod. 9. un o p glefydau drwg yr Aipht, y rhai a
14. a 15. adwaenost: ond ar dy holl gaseion di y
26. rhydd efe hwynt.
Pen. 28. 27, 16 Difetha gan hynny yr holl bobloedd y
60. mae'r Arglwydd dy Dduw yn eu rhoddi
i ti: nac arbeded dy lygad hwynt, ac na
wasanaetha eu duwiau hwynt; oblegid
q Exod. 23. q magl i ti *a fyddai* hynny.
33. 17 Os dywedi yn dy galon, Lliosoccach
Pen. 12. *yw*'r cenhedloedd hyn nâ myfi; pa ddelw y
30. gallaf eu gyrru hwynt ymaith?
18 Nac ofna rhagddynt: gan gofio cofia'r
hyn a wnaeth yr Arglwydd dy Dduw i
Pharaoh, ac i'r holl Aipht;
r Pen. 4. 34. 19 r Y profedigaethau mawrion y rhai a
a 29. 3. welodd dy lygaid, a'r arwyddion, a'r rhy-
feddodau, a'r llaw gadarn, a'r braich estyn-
edig, â'r rhai y'th ddug yr Arglwydd dy
Dduw allan: felly y gwna'r Arglwydd
dy Dduw i'r holl bobloedd yr wyt ti yn eu
hofni.
s Exod. 23. 20 s A'r Arglwydd dy Dduw hefyd a
28. ddenfyn gaccwn yn eu plith hwynt, hyd oni
Jos. 24. 12. ddarfyddo am y rhai gweddill, a'r rhai a
ymguddiant rhagot ti.
21 Nac ofna rhagddynt: oblegid yr Ar-
glwydd dy Dduw *sydd* yn dy ganol di,
yn Dduw mawr, ac ofnadwy.
† Heb. 22 A'r Arglwydd dy Dduw a † yrr
*dynn.* ymaith y cenhedloedd hynny o'th flaen di,
*bob* ychydig *ac* ychydig: ni elli eu difetha
hwynt ar unwaith, rhag myned o fwystfilod
y maes yn amlach nâ thydi.
23 Ond yr Arglwydd dy Dduw a'u
rhydd hwynt o'th flaen di, ac a'u cystuddia
hwynt â chystudd dirfawr, nes eu difetha
hwynt;
t Jos. 12. 1. 24 Ac t a rydd eu brenhinoedd hwynt yn
dy law di, a thi a ddifethi eu henw hwynt
oddi tan y nefoedd: ni saif gwr yn dy
wyneb di, nes difetha o honot ti hwynt.
u Pen. 12. 3. 25 u Llosg ddelwau cerfiedig eu duwiau
Exod. 32. hwynt yn tân: x na chwennych na'r arian
20.
x Jos. 7. 1, na'r aur *a fyddo* arnynt, i'w cymmeryd i ti;
21. rhag dy y faglu ag ef: oblegid ffieidd-dra
2 Mac. 12. i'r Arglwydd dy Dduw *ydyw.*
40. 26 Na ddwg dithau ffieidd-dra i'th dŷ,
y Seph. 1. 3. fel y byddech ysgymmunbeth megis yntau:
z Pen. 13. gan ddirmygu dirmyga ef, a chan ffieiddio
17.
Lef. 27. 28. ffieiddia ef; z oblegid ysgymmunbeth *yw*
efe.

Sul 5 ar ol PEN. VIII.
y Pasg, B.
Chwefr.
26. P.
1451.

1 *Annog i ufudd-dod, o ran ymgeledd Duw iddynt hwy.*

EDRYCHWCH am wneuthur pob gor-
chymyn yr wyf fi yn ei orchymyn it'
heddyw; fel y byddoch fyw, ac y cynnydd-
och, ac yr eloch i mewn, ac y meddiannoch
y wlad a addawodd yr Arglwydd wrth
eich tadau trwy lw.
2 A chofia'r holl ffordd yr arweiniodd yr
Arglwydd dy Dduw di ynddi y deugain
mlynedd hyn, trwy'r anialwch, er mwyn dy
gystuddio di, a gan dy brofi, i wybod yr hyn a Pen. 13.
*oedd* yn dy galon, a gedwit ti ei orchymyn- 3.
ion ef, ai na's *cedwit.*
3 Ac efe a'th ddarostyngodd, ac b a oddef- b Exod. 16.
odd it' newynu, ac a'th c fwydodd â manna, 3.
yr hwn nid adwaenit, ac nid adwaenai dy c Exod. 16.
dadau; fel y gwnai efe it' wybod d nad trwy 12, 14.
fara yn unig y bydd byw dyn, ond trwy d Psal. 104.
bob *gair* a'r sydd yn dyfod allan o enau'r 29.
Arglwydd y bydd byw dyn. Mat. 4. 4.
Luc 4. 4.
4 e Dy ddillad ni heneiddiodd am danat, e Pen. 29.
a'th droed ni chwyddodd, y deugain mly- 5.
nedd hyn. Neh. 9. 12.
5 f Cydnebydd dithau yn dy galon, *fod* yr f 2 Sam. 7.
Arglwydd dy Dduw yn dy ddysgu di, 14.
fel y dysg gwr ei fab ei hun. Psal. 89. 32.
Diar. 3. 12.
6 A chadw orchymynion yr Arglwydd Heb. 12. 5.
dy Dduw, i rodio yn ei ffyrdd, ac i'w ofni Dat. 3. 19.
ef.
7 ¶ Oblegid y mae'r Arglwydd dy
Dduw yn dy ddwyn i mewn i wlad dda,
g i wlad afonydd dyfroedd, ffynhonnau, a g Pen. 11.
dyfnderau yn tarddu allan yn y dyffryn, ac 10, 11.
yn y mynydd;
8 Gwlad gwenith, haidd, a gwinwŷdd,
a ffigyswŷdd, a phomgranadwŷdd; gwlad
olew olewŷdden, a mel;
9 Gwlad yr hon y bwyttêi fara ynddi
heb brinder, *ac* ni bydd eisiau dim arnat
ynddi; gwlad h yr hon *y mae* ei cherrig yn h Pen. 33.
haiarn, ac o'i mynyddoedd y cloddi bres. 25.
10 i Pan fwyttêych, a'th ddigoni; yna y i Pen. 6.
bendithi'r Arglwydd dy Dduw, am y 11, 12.
wlad dda a roddes efe i ti.
11 Cadw arnat rhag anghofio'r Ar-
glwydd dy Dduw, heb gadw ei orchy-
mynion, a'i farnedigaethau, a'i ddeddfau
ef, y rhai'r ydwyf fi yn eu gorchymyn it'
heddyw:
12 k Rhag wedi it' fwytta, a'th ddigoni, k Pen. 28.
ac adeiladu tai teg, a thrigo *ynddynt;* 47. a 32. 15.
Diar. 30. 9.
13 A lliosogi o'th wartheg a'th ddefaid di, Hos. 13. 6.
ac amlhâu o arian ac aur gennyt, ac amlhâu
o'r hyn oll *y sydd* gennyt:
14 Yna ymddyrchafu o'th galon, ac ang-
hofio o honot yr Arglwydd dy Dduw (yr
hwn a'th ddug allan o wlad yr Aipht, o dŷ
y caethiwed;
15 Yr hwn a'th dywysodd di trwy'r anial-
wch mawr ac ofnadwy, l *lle'r ydoedd* seirph l Num. 21.
tanllyd, a 'sgorpionau, a syched lle nid *oedd* 6.
dwfr; m yr hwn a ddygodd i ti ddwfr allan Hos. 13. 5.
o'r graig gallestr; m Num. 20.
11.
16 Yr hwn a'th fwydodd di yn yr anial- Psal. 78. 15.
wch â n manna, yr hwn nid adwaenai dy a 114. 8.
dadau, er dy ddarostwng, ac er dy brofi di, i n Exod. 16.
wneuthur daioni i ti yn dy ddiwedd) 15.
17 o *A* dywedyd o honot yn dy galon, Fy o Pen. 9. 4.
nerth fy hun, a chryfder fy llaw a barodd i
mi y cyfoeth hwn.
18 Ond cofia'r Arglwydd dy Dduw:
oblegid efe *yw*'r hwn *sydd* yn rhoddi nerth
i ti i beri cyfoeth, fel y cadarnhao efe ei gyf-
ammod, yr hwn a dyngodd efe wrth dy
dadau, fel *y mae* y dydd hwn.
19 Ac os gan anghofio'r anghofi'r Ar-
glwydd dy Dduw, a dilyn duwiau dî-
eithr, a'u gwasanaethu hwynt, ac ymgrym-
mu iddynt; yr ydwyf fi yn tystiolaethu yn
eich erbyn chwi heddyw, gan ddifetha y'ch
difethir.
20 Fel y cenhedloedd y rhai y mae'r Ar-
glwydd ar eu difetha o'ch blaen chwi, felly
y difethir chwithau; am na wrandawsoch ar
lais yr Arglwydd eich Duw.

## PEN. IX.

Sel 5 ar ol y Pasg. P. Chwefr. 27. B.

1 *Moses yn eu hannog, nad ymddiriedent yn eu*
*cyfiawnder eu hunain; gan ddatgan eu ham-*
*ryw wrthryfel hwynt.*

1451. GWRANDO, Israel: *Yr wyt* ti yn myn-
ed heddyw dros yr Iorddonen hon, i
fyned i mewn i berchenogi cenhedloedd
[a] Pen. 1. mwy a chryfach nâ thi, [a] dinasoedd mawr-
28. ion a chaerog hyd y nefoedd;
[b] Num. 13. 2 Pobl fawr ac uchel, [b] meibion Anac, y
22, 28. rhai a adnabuost, ac y clywaist ti *ddywed-*
*yd am danynt*, Pwy a saif o flaen meibion
Anac!
3 Gwybydd gan hynny heddyw, *fod* yr
ARGLWYDD dy DDUW yn myned trosodd
[c] Pen. 4. o'th flaen di [c] yn dân ysol: efe a'u difetha
24. hwynt, ac efe a'u darostwng hwynt o'th
Heb. 12. flaen di: felly y gyrri hwynt ymaith, ac y
29. difethi hwynt yn fuan, megis y llefarodd yr
ARGLWYDD wrthyt.
4 Na ddywaid yn dy galon, wedi gyrru
o'r ARGLWYDD dy DDUW hwynt allan
[d] Rhuf. 11. o'th flaen di, gan ddywedyd, [d] Am fy nghyf-
6, 20. iawnder y dygodd yr ARGLWYDD fi i feddi-
1 Cor. 4. annu'r tir hwn: ond [e] am annuwioldeb y
4, 7. cenhedloedd hyn, y gyrrodd yr ARGLWYDD
[e] Gen. 15. hwynt allan o'th flaen di.
16. 5 Nid am dy gyfiawnder di, nac am un-
iondeb dy galon, yr wyt ti yn myned i feddi-
annu eu tir hwynt: ond am annuwioldeb y
cenhedloedd hyn, y bwrw'r ARGLWYDD dy
DDUW hwynt allan o'th flaen di, ac er cyf-
[f] Gen. 12. lawni [f] y gair a dyngodd yr ARGLWYDD
7. a 13. 15. wrth dy dadau, wrth Abraham, wrth Isaac,
a 15. 7. a ac wrth Jacob.
17. 8. a 26. 6 Gwybydd dithau, nad am dy gyfiawn-
4. a 28. 13. der dy hun, y rhoddes yr ARGLWYDD it' y
tir daionus hwn i'w feddiannu: canys pobl
[g] Exod. 32. [g] war-galed *ydych*.
9. a 33. 3. 7 ¶ Meddwl, *ac* na anghofia pa fodd y
a 34. 9. digiaist yr ARGLWYDD dy DDUW yn yr
[h] Exod. 14. anialwch: [h] o'r dydd y daethost allan o dir
11. a 16. 2. yr Aipht, hyd eich dyfod i'r lle hwn, gwrth-
a 17. 2. rytelgar fuoch yn erbyn yr ARGLWYDD.
Num. 11.
4. a 20. 2. 8 [i] Yn Horeb hefyd y digiasoch yr AR-
a 25. 2. GLWYDD; a digiodd yr ARGLWYDD wrth-
[i] Exod. 32. ych, i'ch difetha.
4.
Psal. 106. 9 [k] Pan aethum i fynu i'r mynydd i gym-
19. meryd y llechau meini, *sef* llechau'r cyf-
1491. ammod, yr hwn a wnaeth yr ARGLWYDD
[k] Exod. 24. â chwi; yna [l] 'r arhoais yn y mynydd ddeu-
12, 15. gain niwrnod a deugain nos: bara ni fwyt-
[l] Exod. 24. teais, a dwfr nid yfais.
18. a 34. 28. 10 [m] A rhoddes yr ARGLWYDD attaf y
[m] Exod. 31. ddwy lech faen, wedi eu 'sgrifennu â bys
18. DUW; ac arnynt *yr oedd* yn ol yr holl eiriau
a lefarodd yr ARGLWYDD wrthych yn y
[n] Exod. 19. mynydd, o ganol y tân, [n] ar ddydd y gym-
17. a 20. 1. manfa.
11 A bu, ym mhen y deugain niwrnod a'r
deugain nos, roddi o'r ARGLWYDD attaf y
ddwy lech faen; *sef* llechau'r cyfammod.
12 A dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf,
[o] Exod. 32. [o] Cyfod, dos oddi yma i waered yn fuan:
7. canys ymlygrodd dy bobl, y rhai a ddygaist
allan o'r Aipht: ciliasant yn ebrwydd o'r
ffordd a orchymynais iddynt; gwnaethant
iddynt eu hun ddelw dawdd.
[p] Adn. 6. 13 A llefarodd yr ARGLWYDD wrthyf,
Pen. 10. 16. gan ddywedyd, Gwelais y bobl hyn; ac
a 31. 27. wele, pobl [p] war-galed *ydynt*.
2 Bren. 17.
14. 14 Paid â mi, a mi a'u distrywiaf hwynt,
[q] Pen. 29. ac [q] a ddileaf eu henw hwynt oddi tan y
20. nefoedd; ac a'th wnaf di yn genedl gryf-
Psal. 9. 5. a ach, ac amlach nâ hwynt-hwy.
109. 13.

15 A mi a ddychwelais, ac a ddeuthum i
waered o'r mynydd, a'r mynydd ydoedd yn
llosgi gan dân; a dwy lech y cyfammod
*oedd* yn fy nwylaw.
16 [r] Edrychais hefyd; ac wele, pecha- [r] Exod. 32.
sech yn erbyn yr ARGLWYDD eich DUW: 19.
gwnaethech iwch' lo tawdd: ciliasech yn fuan
o'r ffordd a orchymynasai'r ARGLWYDD i
chwi.
17 A mi a ymaflais yn y ddwy lech, ac
a'u teflais hwynt o'm dwylaw, ac a'u torrais
hwynt o flaen eich llygaid.
18 A [s] syrthiais ger bron yr ARGLWYDD, [s] Psal. 106.
fel y waith gyntaf, ddeugain niwrnod a 23.
deugain nos; ni fwytteais fara, ac nid yfais
ddwfr: o herwydd eich holl bechodau
chwi y rhai a bechasech, gan wneuthur
drygioni yngolwg yr ARGLWYDD i'w
ddigio ef.
19 (Canys ofnais rhag y sorriant a'r dig,
trwy'r rhai y digiodd yr ARGLWYDD wrth-
ych, i'ch dinystrio chwi) Etto gwrandaw-
odd yr ARGLWYDD arnaf y waith honno
hefyd.
20 Wrth Aaron hefyd y digiodd yr AR-
GLWYDD yn fawr, i'w ddifetha ef: a mi
a weddïais hefyd dros Aaron y waith
honno.
21 [t] Eich pechod chwi hefyd yr hwn a [t] Exod. 32.
wnaethoch, *sef* y llo, a gymmerais, ac a'i 20.
llosgais yn tân; curais ef hefyd, gan *ei*
falurio yn dda, nes ei falu yn llwch: a
bwriais ei lwch ef i'r afon oedd yn disgyn
o'r mynydd.
22 O fewn [u] Taberah hefyd, ac o fewn [u] Num. 11.
[x] Massah, ac o fewn [y] Beddau'r blys, yr 1, 3.
oeddych yn digio'r ARGLWYDD. [x] Exod. 17.
23 A [z] phan anfonodd yr ARGLWYDD 7.
chwi o Cades-Barnea, gan ddywedyd, Ewch 1490. [y] Num. 11.
i fynu, a meddiennwch y tir yr hwn a rodd- 4, 34.
ais i chwi, yr anufuddhasoch i air yr AR- [z] Num. 13.
GLWYDD eich DUW: ni chredasoch hefyd 3. a 14. 1.
iddo, ac ni wrandawsoch ar ei lais ef.
24 Gwrthryfelgar fuoch yn erbyn yr AR-
GLWYDD er y dydd yr adnabum chwi.
25 A mi a syrthiais ger bron yr AR-
GLWYDD ddeugain niwrnod a deugain nos,
fel y syrthiaswn *o'r blaen*; am ddywedyd o'r
ARGLWYDD y difethai chwi.
26 Gweddïais hefyd ar yr ARGLWYDD,
a dywedais, ARGLWYDD DDUW, na ddi-
fetha dy bobl, a'th etifeddiaeth a waredaist
yn dy fawredd, yr hwn a ddygaist allan o'r
Aipht â llaw gref.
27 Cofia dy weision, Abraham, Isaac,
a Jacob; nac edrych ar galedrwydd y
bobl hyn, nac ar eu drygioni, nac ar eu
pechod:
28 Rhag dywedyd o'r wlad y dygaist
ni allan o honi, [a] O eisiau gallu o'r AR- [a] Exod. 32.
GLWYDD eu dwyn hwynt i'r tir a 12.
addawsai efe iddynt, ac o'i gas arnynt, y Num. 14. 16.
dug efe hwynt allan, i'w lladd yn yr an-
ialwch.
29 [b] Etto dy bobl di a'th etifeddiaeth *ydynt* [b] Pen. 4.
hwy, y rhai a ddygaist allan yn dy fawr 20.
nerth, ac â'th estynedig fraich.

Dydd yr Enwaededigaeth, P. o w. 12. allan.

## PEN. X.

1 *Trugaredd Duw, yn ail roddi'r ddwy lech;*
*6 yn sicrhâu'r offeiriadaeth; 8 yn neillduo*
*llwyth Lefi; 10 yn gwrando ar weddi Mo-*
*ses dros y bobl. 12 Annog i ufudd-dod.*

D. y Dyrchafael, B. Chwefr. 27. P.

YR amser hwnnw y dywedodd yr AR- 1491.
GLWYDD wrthyf, [a] Nadd it' ddwy lech [a] Exod. 34. 1.

faen, fel *y rhai* cyntaf; a thyred i fynu attaf
fi i'r mynydd, a gwna it' arch bren.
2 A mi a 'sgrifenaf ar y llechau y geiriau
oedd ar y llechau cyntaf, y rhai a dorraist;
a gosod tithau hwynt yn yr arch.
[b] Exod. 25. 3 Yna gwneuthum arch o goed [b] Sittim;
5, 10. ac a neddais ddwy lech faen, fel y rhai
cyntaf; ac a euthum i fynu i'r mynydd, â'r
ddwy lech yn fy llaw.
[c] Exod. 34. 4 Ac [c] efe a 'sgrifenodd ar y llechau, fel
28. yr ysgrifen gyntaf, y † dengair, a lefarodd
† *deg gor-* yr ARGLWYDD wrthych yn y mynydd, o
*chymyn.* ganol y tân, yn nydd y gymmanfa: a
rhoddes yr ARGLWYDD hwynt attaf fi.
5 Yna y dychwelais, ac y deuthum i
wared o'r mynydd, ac a osodais y llechau
yn yr arch, yr hon a wnaethwn, ac yno
y maent; megis y gorchymynodd yr AR-
GLWYDD i mi.
[d] Num. 33. 6 ¶ A [d] meibion Israel a aethant o
31. Beeroth meibion Jacan i [e] Moserah: [f] yno
[e] Num. 33. y bu farw Aaron, ac efe a gladdwyd
30. yno; ac Eleazar ei fab a offeiriadodd yn ei
[f] Num. 20. 28. a 33. 38. le ef.
[g] Num. 33. 7 [g] Oddi yno yr aethant i Gudgodah; ac
32, 33. o Gudgodah i Jotbath, tir afonydd dyfr-
oedd.
[h] Num. 3. 8 ¶ Yr amser hwnnw [h] y neillduodd yr
6. a 4. 4. a ARGLWYDD lwyth Lefi, i ddwyn arch cy-
8. 14. fammod yr ARGLWYDD, i sefyll ger bron yr
[i] Lef. 9. 22. ARGLWYDD, i'w wasanaethu ef, ac i [i] fendigo
Num. 6. yn ei enw ef, hyd y dydd hwn.
24. 9 [k] Am hynny ni bydd rhan i Lefi,
[k] Num. 18. nac etifeddiaeth gyd â'i frodyr: yr AR-
20. GLWYDD *yw* ei etifeddiaeth ef; megis y
Pen. 18. 1. dywedodd yr ARGLWYDD dy DDUW wrtho
Ezec. 44. 28. ef.
1491. 10 A [l] mi a arhoais yn y mynydd ddeu-
[l] Exod. 34. gain niwrnod a deugain nos, fel y ‡ dydd-
28. iau cyntaf: [m] a gwrandawodd yr AR-
‡ Neu, GLWYDD arnaf y waith hon hefyd; ni
*y deugain* ewyllysiodd yr ARGLWYDD dy ddife-
*niwrnod cyntaf.* tha di.
[m] Exod. 32. 11 [n] A dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf,
32, 33. a 33. Cyfod, dos i'*th* daith o flaen y bobl; fel
18. yr elont i mewn ac y meddiannont y tir,
Pen. 9. 19. yr hwn a dyngais wrth eu tadau ar ei roddi
[n] Exod. 32. iddynt.
34. a 33. 1.
[o] Mic. 6. 8. 12 ¶ Ac yr awr hon, Israel, [o] beth y
mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei ofyn
gennyt, ond ofni'r ARGLWYDD dy DDUW,
[p] Pen. 6. 5. a rhodio yn ei holl ffyrdd, [p] a'i garu ef, a
Mat. 22. 37. gwasanaethu'r ARGLWYDD dy DDUW â'th
holl galon, ac â'th holl enaid;
13 Cadw gorchymynion yr ARGLWYDD,
a'i ddeddfau, y rhai yr wyf yn eu gorchy-
myn i ti y dydd hwn, er daioni i ti?
[q] Exod. 19. 14 Wele [q] 'r nefoedd, a nefoedd y nefoedd,
5. *ydynt* eiddo'r ARGLWYDD dy DDUW, [r] y
Psal. 115. ddaear *hefyd* a'r hyn oll *sydd* ynddi.
16. a 148. 4. 15 Yn unig ar dy dadau di y rhoddes yr
[r] Gen. 14. ARGLWYDD ei serch, gan eu hoffi hwynt:
19. ac efe a wnaeth ddewis o'u had ar eu hol
Psal. 24. 1. hwynt, *sef* o honoch chwi, o flaen yr holl
[s] Pen. 30. 6. bobloedd; megis heddyw *y gwelir.*
Jer. 4. 4. 16 [s] Enwaedwch chwithau ddïenwaediad
Rhuf. 2. 28, 29. eich calon, ac na chaledwch eich gwarr
Col. 2. 11. mwyach.
Edrych Lef. 26. 41. 17 Canys yr ARGLWYDD eich DUW chwi
*yw* Duw y duwiau, ac [t] Arglwydd yr argl-
[t] Dat. 17. 14. a 19. 16. wyddi, Duw mawr, cadarn, ac ofnadwy,
[u] 2 Chron. 19. 7. yr hwn [u] ni dderbyn wyneb, ac ni chymmer
wobr.
[x] Psal. 68. 5. a 146. 9. 18 [x] Yr hwn a farna'r ymddifad a'r
weddw; ac y sydd yn hoffi'r dïeithr, gan
roddi iddo fwyd a dillad.

19 [y] Hoffwch chwithau'r dïeithr: canys [y] Lef. 19.
dïeithriaid fuoch yn nhir yr Aipht. 33, 34. Gal. 2. 6.
20 [z] Yr ARGLWYDD dy DDUW a ofni, [z] Pen. 6. 13.
ac ef a wasanaethi; wrtho ef hefyd [a] y glyni, Mat. 4. 10.
ac i'w enw ef y tyngi. Luc 4. 8.
21 [b] Efe *yw* dy fawl, ac efe *yw* dy [a] Pen. 13. 4.
DDUW, yr hwn a wnaeth it' y mawrion [b] Exod. 15. 2.
a'r ofnadwy *bethau* hyn, y rhai a welodd dy Psal. 22. 3.
lygaid. Jer. 17. 14.
22 Dy dadau a aethant i wared i'r Aipht [c] Gen. 46.
[c] yn ddeg enaid a thrugain; ac yr awr hon 27.
yr ARGLWYDD dy DDUW a'th wnaeth di Exod. 1. 5. Act. 7. 14.
[d] fel ser y nefoedd o liosowgrwydd. [d] Gen. 15. 5.

## PEN. XI.

1 *Moses yn annog y bobl i ufudd-dod;* 2 *trwy* Chwefr. 28. P.
*eu gwybodaeth eu hunain o fawr weithred-*
*oedd Duw;* 8 *trwy addewid o fawr fen-*
*dithion Duw,* 16 *a thrwy fygythion.* 18 *Bod*
*yn rhaid myfyrio'n ofalus ar eiriau Duw.*
26 *Rhoddi'r fendith a'r felldith o'u blaen*
*hwynt.*

CAR dithau'r ARGLWYDD dy DDUW, 1451.
a chadw ei gadwraeth ef, a'i ddeddf-
au, a'i farnedigaethau, a'i orchymynion,
byth.
2 A chydnabyddwch heddyw: canys nid
*wyf yn ymddiddan* â'ch plant, y rhai nid
adnabuant, ac ni welsant gerydd yr AR-
GLWYDD eich DUW chwi, ei fawredd, ei
law gref, a'i fraich estynedig;
3 Ei arwyddion hefyd, a'i weithredoedd,
y rhai a wnaeth efe ynghanol yr Aipht, i
Pharaoh brenhin yr Aipht, ac i'w holl dir;
4 A'r hyn a wnaeth efe i lu'r Aipht, i'w
feirch ef, ac i'w gerbydau; [a] y modd y [a] Exod. 14. 27.
gwnaeth efe i ddyfroedd y môr coch lenwi
dros eu hwynebau hwynt, pan oeddynt yn
ymlid ar eich ol, ac y difethodd yr AR-
GLWYDD hwynt hyd y dydd hwn;
5 A'r hyn a wnaeth efe i chwi yn yr
anialwch, nes eich dyfod i'r lle hwn;
6 [b] A'r hyn a wnaeth efe i Ddathan, ac [b] Num. 16.
i Abiram, meibion Eliab, mab Reuben; y 31. a 27. 3.
modd yr agorodd y ddaear ei safn, ac a'u Psal. 106. 17.
llyngcodd hwynt, a'u teuluoedd, a'u pebyll,
a'r holl † olud oedd ‡ ganddynt, ym mysg † Neu,
holl Israel. *dda byw*
7 Eithr eich llygaid chwi oedd yn gweled *oedd yn eu canlyn*
holl fawrion weithredoedd yr ARGLWYDD, *hwy.*
y rhai a wnaeth efe. ‡ Heb.
8 Cedwch chwithau bob gorchymyn yr *wrth eu traed.*
ydwyf fi yn ei orchymyn i chwi heddyw;
fel y byddoch gryfion, ac yr eloch i mewn,
ac y meddiannoch y tir yr ydych yn myned
trosodd iddo i'w feddiannu:
9 Ac fel yr estynoch ddyddiau yn y tir
yr hwn a dyngodd yr ARGLWYDD i'ch
tadau, ar ei roddi iddynt, ac i'w had; *sef* tir
yn llifeirio o laeth a mel.
10 ¶ O herwydd y tir yr wyt yn myned
iddo i'w feddiannu, nid fel tir yr Aipht y
*mae*, yr hwn y daethoch allan o hono, lle'r
heuaist dy had, ac y dyfrhêaist â'th droed,
fel gardd lysiau:
11 Ond y tir yr ydych yn myned tros-
odd iddo i'w feddiannu, *sydd* fynydd-
dir, a dyffryndir, yn yfed dwfr o wlaw'r
nefoedd;
12 Tir *yw*, yr hwn y mae'r ARGLWYDD
dy DDUW yn ei § ymgeleddu: [c] llygaid yr § Heb.
ARGLWYDD dy DDUW *sydd* bob amser *geisio.*
arno, o ddechreuad y flwyddyn hyd ddi- [c] 1 Bren.
wedd y flwyddyn hefyd. 9. 3.
13 ¶ A bydd, os gan wrando y gwran-
dêwch ar fy ngorchymynion, y rhai yr

ydwyf yn eu gorchymyn i chwi heddyw,
i garu'r ARGLWYDD eich DUW, ac i'w
wasanaethu, â'ch holl galon, ac â'ch holl
enaid;

14 Yna y rhoddaf wlaw i'ch tir yn ei
d Joel 2. 23. Iago 5. 7. amser, *sef* d y cynhar-wlaw, a'r diweddar-
wlaw; fel y casglech dy ŷd, a'th win, a'th
olew:

15 A rhoddaf laswellt yn dy faes, i'th
anifeiliaid; fel y bwyttaech, ac y'th ddi-
goner.

16 Gwyliwch arnoch rhag twyllo eich
e Pen. 8. 19. calon, a chilio o honoch, a e gwasanaethu
duwiau dieithr, ac ymgrymmu iddynt;

17 Ac ennynu digllonedd yr AR-
f 1 Bren. 8. 35. GLWYDD i'ch erbyn, a f chau o hono ef y
nefoedd, fel na byddo gwlaw, ac na roddo'r
ddaear ei chnwd, a'ch difetha yn fuan o'r
tir yr hwn y mae'r ARGLWYDD yn ei roddi
i chwi.

g Pen. 6. 6. 18 ¶ Am hynny g gosodwch fy ngeiriau
hyn yn eich calon, ac yn eich meddwl, a
h Pen. 6. 8. h rhwymwch hwynt yn arwydd ar eich
dwylaw, a byddant yn rhactalau rhwng eich
llygaid:

i Pen. 4. 9, 10. a 6. 7. 19 i A dysgwch hwynt i'ch plant; gan
grybwyll am danynt pan eisteddych yn dy
dŷ, a phan rodiech ar y ffordd, pan or-
weddych *hefyd*, a phan godych.

20 Ac ysgrifena hwynt ar byst dy dŷ,
ac ar dy byrth;

21 Fel yr amlhao eich dyddiau chwi, a
dyddiau eich plant chwi, ar y ddaear yr
hon a dyngodd yr ARGLWYDD wrth eich
k Psal. 72. 5. a 89. 30. tadau am ei rhoddi iddynt, k fel dyddiau'r
nefoedd ar y ddaear.

22 ¶ Canys os gan gadw y cedwch yr
holl orchymynion hyn, y rhai yr ydwyf
fi yn eu gorchymyn i chwi i'w gwneu-
thur, i garu'r ARGLWYDD eich DUW, i
rodio yn ei holl ffyrdd ef, ac i lynu wrtho
ef;

23 Yna y gyrr yr ARGLWYDD allan yr
holl genhedloedd hyn o'ch blaen chwi, a
chwi a feddiennwch genhedloedd mwy a
chryfach nâ chwi.

l Jos. 1. 3. a 14. 9. 24 l Pob man y sathro gwadn eich troed
chwi arno, fydd eiddo chwi: m o'r anial-
m Gen. 15. 18. Exod. 23. 31. Num. 34. 3. wch, a Libanus, *ac* o'r afon, *sef* afon Eu-
phrates, hyd y môr eithaf, y bydd eich ter-
fyn chwi.

25 Ni saif gwr yn eich wyneb: eich
arswyd a'ch ofn a rydd yr ARGLWYDD
eich DUW ar wyneb yr holl dir yr hwn
n Exod. 23. 27. y sathroch arno, n megis y llefarodd wrth-
ych.

o Pen. 30. 15. 26 ¶ o Wele, rhoddi'r ydwyf fi o'ch blaen
chwi heddyw fendith a melldith:

p Pen. 28. 2. 27 p Bendith, os gwrandêwch ar orchy-
mynion yr ARGLWYDD eich DUW, y
rhai'r ydwyf fi yn *eu* gorchymyn i chwi
heddyw;

q Pen. 28. 15. 28 A q melldith, oni wrandêwch ar or-
chymynion yr ARGLWYDD eich DUW,
ond cilio o honoch allan o'r ffordd yr
ydwyf fi yn ei gorchymyn i chwi heddyw,
i fyned ar ol duwiau dieithr, y rhai nid
adnabuoch.

29 Bydded gan hynny, pan ddygo'r AR-
GLWYDD dy DDUW di i'r tir yr ydwyt
yn myned iddo i'w feddiannu, roddi o
r Pen. 27. 12, 13. Jos. 8. 33. honot r y fendith ar fynydd Garizim, a'r
felldith ar fynydd Ebal.

30 Onid *yw* y rhai hyn o'r tu hwnt i'r
Iorddonen, tu a'r lle y machluda'r haul,
yn nhir y Canaaneaid, yr hwn sydd yn
trigo yn y rhos ar gyfer Gilgal, s ger llaw s Gen. 12. 6. Barn. 7. 1.
gwastadedd Moreh?

31 Canys myned yr ydych dros yr Ior-
ddonen, i fyned i feddiannu'r tir y mae'r
ARGLWYDD eich DUW yn ei roddi i chwi;
a chwi a'i meddiennwch ac a breswyliwch
ynddo.

32 Gwyliwch chwithau t am wneuthur t Pen. 5. 32.
yr holl ddeddfau a'r barnedigaethau, y
rhai'r ydwyf fi yn eu rhoddi o'ch blaen
chwi heddyw.

## PEN. XII.

1 *Bod yn rhaid dinystrio pob lle y buasai* Sul ar ol y Drindod, B. Chwefr. 28. P.
*delw-addoliaeth ynddo,* 5 *a chyrchu i'r*
*lle a ddewisodd Duw i'w wasanaeth.* 16,
23 *Gwahardd gwaed.* 17, 20, 26 *Rhaid*
*yw bwytta pethau sanctaidd yn y lle*
*sanctaidd.* 19 *Na wrthoder y Lefiad.* 29
*Nac ymoroler am gau-dduwiau.*

DYMA'r deddfau, a'r barnedigaethau, 1451.
y rhai a wyliwch ar *eu* gwneuthur, yn
y tir a rydd ARGLWYDD DDUW dy dadau i
ti i'w feddiannu, yr holl ddyddiau y byddoch
fyw ar y ddaear.

2 a Gan ddinystrio dinystriwch yr holl a Pen. 7. 5.
fannau, y rhai y gwasanaethodd y cen-
hedloedd yr ydych chwi yn eu † medd- † Neu, *etifeddu.*
iannu eu duwiau ynddynt, ar y mynydd-
oedd uchel, ac ar y bryniau, a than bob
pren gwŷrddlas.

3 b Drylliwch hefyd eu hallorau hwynt, b Barn. 2. 2.
a thorrwch eu colofnau hwynt, a llosgwch
eu llwynau hwynt â thân, a thorrwch gerf-
iedig ddelwau eu duwiau hwynt, a dinystr-
iwch eu henwau hwynt o'r lle hwnnw.

4 Na wnewch felly i'r ARGLWYDD eich
DUW.

5 Ond y lle c a ddewiso'r ARGLWYDD c 1 Bren. 8. 29. 2 Chron. 7. 12.
eich DUW o'ch holl lwythau chwi, i osod ei
enw yno, ei drigfa ef a geisiwch, ac yno y
deuwch:

6 A dygwch d yno eich poeth-offrym- d Lef. 17. 3.
mau, a'ch aberthau, a'ch e degymmau, ac e Adn. 17. Pen. 14. 22. a 15. 19, 20.
offrwm dyrchafael eich llaw, eich ad-
dunedau hefyd, a'ch offrymmau gwir-
fodd, a chyntaf-anedig eich gwartheg a'ch
defaid.

7 A bwyttêwch f yno ger bron yr AR- f Pen. 14. 26.
GLWYDD eich DUW, a llawenhêwch ym
mhob dim y rhoddoch eich llaw arno,
chwychwi a'ch teuluoedd, yn yr hyn y'th
fendithiodd yr ARGLWYDD dy DDUW.

8 Na wnewch yn ol *yr hyn* oll yr ydym
ni yn ei wneuthur yma heddyw, pob un yr
hyn *fyddo* union yn ei olwg ei hun.

9 Canys ni ddaethoch hyd yn hyn i'r
orphwysfa, ac i'r etifeddiaeth, yr hon y
mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei rhoddi
it'.

10 Ond pan eloch dros yr Iorddonen, a
thrigo yn y tir yr hwn y mae'r AR-
GLWYDD eich DUW yn ei roddi yn eti-
feddiaeth i chwi, a *phan* roddo lonydd i
chwi oddi wrth eich holl elynion o amgylch,
fel y preswylioch yn ddïogel:

11 Yna y bydd g lle wedi i'r ARGLWYDD g 1 Bren. 8. 29. Psal. 78. 68.
eich DUW ei ddewis iddo, i beri i'w enw
aros ynddo; yno y dygwch yr hyn oll yr
ydwyf fi yn ei orchymyn i chwi; *sef* eich
poeth-offrymmau, a'ch aberthau, eich deg-
ymmau, a dyrchafael-offrwm eich llaw,
‡ a'ch holl ddewis addunedau, y rhai a ‡ Heb. *a holl ddewis eich addunedau.*
addunedoch i'r ARGLWYDD.

12 A llawenhêwch ger bron yr AR-
GLWYDD eich DUW; chwi, a'ch meibion,

a'ch merched, a'ch gweision, a'ch mor-
wynion, a'r Lefiad *a fyddo* yn eich pyrth
[h] Pen. 10. chwi : canys [h] nid *oes* iddo ran nac etifedd-
9. iaeth gyd â chwi.
13 Gwylia arnat rhag poeth-offrymmu
o honot dy boeth-offrymmau ym mhob lle
a'r a welych :
14 Ond yn y lle a ddewiso 'r ARGLWYDD
o fewn un *o'th* lwythau di, yno yr offrym-
mi dy boeth-offrymmau, ac y gwnai 'r hyn
oll yr ydwyf fi yn ei orchymyn i ti.
15 Er hynny ti a gai ladd a bwytta cig yn
ol holl ddymuniant dy galon, yn ol bendith
yr ARGLWYDD dy DDUW, yr hon a rydd
[i] Adn. 22. efe i ti, yn dy holl byrth : [i] yr aflan a'r
glân a fwytty o hono, megis o'r iwrch a'r
carw.
[k] Gen. 9. 4. 16 [k] Ond na fwyttêwch y gwaed; ar y
Lef. 7. 26. ddaear y tywelltwch ef fel dwfr.
a 17. 10. 17 ¶ Ni elli fwytta o fewn dy byrth ddeg-
Pen. 15. 23. fed dy ŷd, na'th win, na'th olew, na chyn-
taf-anedig dy wartheg, na'th ddefaid, na'th
holl addunedau y rhai a addunech, na'th
offrymmau gwirfodd, na dyrchafael-offrwm
dy law :
18 Ond o flaen yr ARGLWYDD dy DDUW
y bwyttâi hwynt, yn y lle a ddewiso 'r AR-
GLWYDD dy DDUW; ti, a'th fab, a'th ferch,
a'th was, a'th forwyn, a'r Lefiad *a fyddo*
yn dy byrth di : llawenycha ger bron yr
ARGLWYDD dy DDUW yn yr hyn oll yr
estynech dy law arno.
[l] Pen. 14. 19 [l] Gwylia arnat rhag gadael y Lefiad,
27. † tra fyddech byw ar y ddaear.
Eccl 7. 31. 20 ¶ Pan helaetho 'r ARGLWYDD dy
† Heb. *dy holl* DDUW dy derfyn di, [m] megis y dywedodd
*ddyddiau.* wrthyt, os dywedi, Bwyttâf gig (pan ddy-
[m] Gen. 15. muno dy galon fwytta cig) yn ol holl ddy-
18. a 28. 14. muniad dy galon y bwyttêi gig.
Pen. 11. 24. a 19. 8. 21 Os y lle a ddewisodd yr ARGLWYDD
dy DDUW i roddi ei enw ynddo, fydd pell
oddi wrthyt; yna lladd o'th wartheg, ac
o'th ddefaid, y rhai a roddodd yr AR-
GLWYDD it', megis y gorchymynais i ti, a
bwytta o fewn dy byrth wrth holl ddymu-
niad dy galon.
[n] Adn. 15. 22 [n] Etto fel y bwyttêir yr iwrch a'r carw,
felly y bwyttêi ef : yr aflan a'r glân a'i
bwytty yn yr un ffunud.
[o] Adn. 16. 23 [o] Yn unig ‡ bydd sicr na fwyttâech
‡ Heb. *ymgryfhâ.* y gwaed : canys [p] y gwaed *yw*'r einioes;
ac ni chai fwytta 'r einioes ynghŷd â'r
[p] Lef. 17. 11, 14. cig.
24 Na fwytta ef; ar y ddaear y tywellti
ef fel dwfr.
25 Na fwytta ef; fel y byddo daioni i ti,
ac i'th feibion ar dy ol, pan wnelych yr
union yngolwg yr ARGLWYDD.
26 Etto cymmer dy gyssegredig *bethau* y
rhai sydd gennyt, a'th addunedau, a thyred
i 'r lle a ddewiso 'r ARGLWYDD :
[q] Lef. 1. 5, 9, 13. 27 Ac [q] offrymma dy boeth-offrwm (y
cig a'r gwaed) ar allor yr ARGLWYDD dy
DDUW : a gwaed dy aberthau a dywelltir
wrth allor yr ARGLWYDD dy DDUW; a'r
cig a fwyttâi di.
28 Cadw a gwrando 'r holl eiriau hyn yr
ydwyf fi yn eu gorchymyn i ti; fel y byddo
daioni it', ac i'th feibion ar dy ol byth, pan
wnelych *yr hyn sydd* dda ac union yngolwg
yr ARGLWYDD dy DDUW.
29 ¶ Pan ddinystrio 'r ARGLWYDD dy
§ Heb. *meddiannu, neu, etifeddu* DDUW 'r cenhedloedd, y rhai yr wyt ti yn
*honot* myned attynt i'w meddiannu, o'th flaen di,
*hwynt.* a § dyfod o honot yn eu lle hwynt, a phres-
wylio yn eu tir hwynt :

30 Gwylia arnat [r] rhag ymfaglu o honot [r] Pen. 7. 16.
ar eu hol hwynt, wedi eu dinystrio hwynt
o'th flaen di; a rhag ymorol am eu duwiau
hwynt, gan ddywedyd, Pa fodd y gwasa-
naethodd y cenhedloedd hyn eu duwiau?
myfi a wnaf felly hefyd.
31 Na wna di felly i'r ARGLWYDD dy
DDUW : canys pob ffieidd-dra ‖ yr hwn ‖ Heb.
oedd gas gan yr ARGLWYDD, a wnaeth- *yr Arglwydd,*
ant hwy i'w duwiau : canys [s] eu meibion *yr hwn*
hefyd a'u merched a losgosant yn tân i'w *oedd gas gantho.*
duwiau. [s] Lef. 18.
32 Pob gair yr wyf fi yn ei orchymyn 21. a 20. 2.
i chwi, edrychwch am wneuthur hynny : Pen. 18. 10.
[t] na 'chwanega atto, ac na thynn oddi Jer. 32. 35.
wrtho. [t] Pen. 4. 2.

## PEN. XIII.

1 *Y rhai a hudo i ddelw-addoliaeth,* 6 *er* Sul ar ol y Dyrchafael,
*nesed a font i ti,* 9 *rhaid yw eu llabyddio.* P.
12 *Nad arbeder y dinasoedd lle y bo gau-* Chwefr.
*dduwiaeth.* 29. B.

PAN godo yn dy fysg di brophwyd, neu 1451.
freuddwydydd breuddwyd (a rhoddi
it' arwydd neu ryfeddod,
2 A dyfod i ben o'r [a] arwydd neu 'r rhy- [a] Edrych
feddod a lefarodd efe wrthyt) gan ddy- Pen. 18. 22. Jer. 28. 9.
wedyd. Awn ar ol duwiau dïeithr (y rhai Mat. 7. 22.
nid adwaenost) a gwasanaethwn hwynt;
3 Na wrando ar eiriau 'r prophwyd hwn-
nw, neu ar y breuddwydydd breuddwyd
hwnnw : canys yr ARGLWYDD eich DUW
sydd yn eich [b] profi chwi, i wybod a ydych [b] Pen. 8. 2.
yn caru'r ARGLWYDD eich DUW â'ch holl 1 Cor. 11. 19.
galon, ac â'ch holl enaid. Edrych
4 Ar ol yr ARGLWYDD eich DUW yr Mat. 4. 24.
ewch, ac ef a ofnwch, a'i orchymynion ef 2 Thes. 2. 11.
a gedwch, ac ar ei lais ef y gwrandêwch, Dat. 13. 14.
ac ef [c] a wasanaethwch, ac wrtho ef y [c] Pen. 10.
glynwch. 20.
5 A'r [d] prophwyd hwnnw, neu'r breu- Jer. 14. 15.
ddwydydd breuddwyd hwnnw, a roddir i Zec. 13. 3.
farwolaeth, (canys llefarodd † i'ch troi *chwi* † Heb.
oddi wrth yr ARGLWYDD eich DUW, yr *dychwel-*
hwn a'ch dug chwi allan o dir yr Aipht, *iad yn er-*
ac a'ch gwaredodd chwi o dŷ 'r caethiwed, *byn yr Arglwydd.*
i 'th wthio di allan o'r ffordd, yr hon y
gorchymynodd yr ARGLWYDD dy DDUW i
ti rodio ynddi) [e] felly y tynni ymaith y [e] Pen. 22.
drwg o'th fysg. 21, 22, 24. 1 Cor. 5. 13.
6 ¶ [f] Os dy frawd, mab dy fam, neu [f] Pen. 17. 2.
dy fab dy hun, neu dy ferch, neu [g] wraig dy [g] Edrych
fynwes, neu dy gyfaill, yr hwn *sydd* fel dy Gen. 16. 5.
enaid dy hun, a'th annog yn ddirgel, gan Pen. 28. 54.
ddywedyd, Awn a gwasanaethwn dduw- Diar. 5. 20.
iau dïeithr, y rhai nid adnabuost ti, na'th Mic. 7. 5.
dadau;
7 *Sef rhai* o dduwiau 'r bobl *sydd* o'ch
amgylch chwi, yn agos attat, *neu* ym mhell
oddi wrthyt, o *un* cwrr i 'r tir hyd gwrr *arall*
y tir :
8 Na chyd-synia ag ef, ac na wrando
arno, ac nac arbeded dy lygad ef, ac nac
eiriach *ef,* ac na chela arno :
9 Ond [h] gan ladd lladd ef; bydded [h] Pen. 17.
[i] dy law di arno ef yn gyntaf, i'w roddi 7.
i farwolaeth, a llaw 'r holl bobl wedi [i] Act. 7. 58.
hynny.
10 A llabyddia ef â meini, fel y byddo
marw : canys ceisiodd dy wthio di oddi
wrth yr ARGLWYDD dy DDUW, yr hwn
a'th ddug di allan o dir yr Aipht, o dŷ y
‡ caethiwed. ‡ Heb. *caethion.*
11 A [k] holl Israel a glywant, ac a ofnant, [k] Pen. 17.
ac ni 'chwanegant wneuthur y fath beth 13.
drygionus a hyn yn dy blith.

12 ¶ Pan glywech am un o'th ddinasoedd, y rhai y mae 'r ARGLWYDD dy DDUW yn eu rhoddi it' i drigo ynddynt, gan ddywedyd,

l Ioan 2. 19. Jud. 19. 13 l Aeth dynion, meibion † y fall, allan
o'th blith, a gyrrasant drigolion eu dinas,
† Neu, *Belial.* gan ddywedyd, Awn, gwasanaethwn ddu-
Edrych wiau dieithr (y rhai nid adnabuoch)
Barn. 19. 22. 14 Yna ymofyn, a chwilia, a chais yn
1 Sam. 2. dda: ac wele, *os* gwirionedd *yw*, *a* bod
12. a 25. 25. yn sicr wneuthur y ffieidd-dra hyn yn dy
2 Cor. 6. 15. fysg;

15 Gan daro taro drigolion y ddinas honno
m Lef. 27. â min y cleddyf; m difroda hi, a'r rhai oll
28. Jos. 6. 17. *a fyddant* ynddi, a'i hanifeiliaid hefyd, â min y cleddyf.

16 A'i holl yspail hi a gesgli i ganol ei heol hi, ac a losgi 'r ddinas a'i holl yspail hi yn gwbl, i'r ARGLWYDD dy DDUW, â thân: felly bydded yn garnedd byth; nac adeilader hi mwy.

n Pen. 7. 26. 17 Ac n na lyned wrth dy law di ddim
o'r ‡ diofrydbeth: fel y dychwelo 'r AR-
‡ Neu, *peth melldigedig.* GLWYDD oddi wrth angerdd ei ddig, ac y rhoddo it' drugaredd, ac y tosturio wrthyt, ac y'th amlhao, megis y tyngodd wrth dy dadau;

18 Pan wrandawech ar lais yr ARGLWYDD
o Pen. 12. 15. 32. dy DDUW, o gan gadw ei holl orchymynion ef, y rhai 'r wyf fi yn *eu* gorchymyn i ti heddyw, gan wneuthur *yr hyn sydd* union yngolwg yr ARGLWYDD dy DDUW.

## PEN. XIV.

Chwefr. 29. P. 1 *Na ddylai plant Duw mo'u hanffurfio eu hunain wrth alaru. 3 Pa beth a ellir, a pha beth ni's gellir ei fwytta, 4 o anifeiliaid, 9 o bysgod, 11 o adar. 21 Ni ellir bwytta'r hyn a fo farw ei hun. 22 Degymmau gwasanaeth Duw. 23 Y degymmau a'r cyntaf-anedig i ymlawenychu ger bron yr Arglwydd. 28 Degwm y drydedd flwyddyn yn elusen.*

1451.
a Lef. 19. 28. a 21. 5. Jer. 16. 6. a 41. 5. a 47. 5. 1 Thes. 4. 13. PLANT *ydych* chwi i'r ARGLWYDD eich DUW: a na thorrwch mo honoch eich hunain, ac na wnewch foelni rhwng eich llygaid, dros y marw.

2 b Canys pobl sanctaidd *wyt* ti i'r ARGLWYDD dy DDUW, a'r ARGLWYDD
b Pen. 7. 6. a 26. 18. a'th ddewisodd di i fod yn bobl unig iddo ef, o'r holl bobloedd *sydd* ar wyneb y ddaear.

3 ¶ Na fwytta ddim ffiaidd.

c Lef. 11. 2, &c. 4 c Dyma 'r anifeiliaid a fwyttêwch: eidion, llwdn dafad, a llwdn gafr,

5 Y carw, a'r iwrch, a'r llwdn hydd,
† Heb. *dison.* a'r bwch gwyllt, a'r † unicorn, a'r ‡ ych
‡ *bual.* gwyllt, a'r afr wyllt.

6 A phob anifail yn hollti 'r ewin, ac yn fforchogi hollt y ddwy ewin, *ac* yn cnoi cil, ym mysg yr anifeiliaid; hwnnw a fwyttêwch.

7 Ond hyn ni fwyttêwch, o'r rhai a gnoant y cil, neu a holltant yr ewin yn fforchog: y camel, a'r ysgyfarnog, a'r gwningen: er bod y rhai hyn yn cnoi eu cil, am nad ydynt yn fforchogi 'r ewin, aflan *ydynt* i chwi.

8 Yr hwch hefyd, er ei bod yn fforchogi 'r ewin, ac heb *gnoi* cil, aflan *yw* i chwi: na
d Lef. 11. 27. fwyttêwch o'u cig hwynt ac d na chyffyrddwch â'u burgyn hwynt.

e Lef. 11. 9. 9 ¶ e Hyn a fwyttêwch o'r hyn oll *sydd* yn y dyfroedd: yr hyn oll *sydd* iddo esgyll a chenn a fwyttêwch.

10 A'r hyn oll nid *oes* iddo esgyll a chenn, ni fwyttêwch: aflan *yw* i chwi.

11 ¶ Pob aderyn glân a fwyttêwch.

12 A dyma 'r rhai ni fwyttêwch o honynt: yr eryr, a'r wŷdd-walch, a'r forwennol.

13 A'r bod, a'r barcut, a'r fwltur yn ei rhyw,

14 A phob cigfran yn ei rhyw,

15 A chyw 'r estrys, a'r fran nos, a'r gog, a'r hebog yn ei ryw,

16 Aderyn y cyrph, a'r dylluan, a'r gogfran,

17 A'r pelican, a'r bïogen, a'r fulfran,

18 A'r ciconia, a'r eryr yn ei ryw, a'r
gornchwigl, a'r f ystlum. f Lef. 11. 19.

19 A g phob ymlusgiad asgellog *sydd* aflan
i chwi: na fwyttäer hwynt. g Edrych Lef. 11. 21.

20 Pob ehediad glân a fwyttêwch.

21 ¶ Na fwyttêwch ddim a fo marw ei hun: dod ef i'r dieithr *fyddo* yn dy byrth, a bwyttâed ef; neu gwerth *ef* i'r dieithr: canys pobl sanctaidd *ydwyt* i'r ARGLWYDD
dy DDUW. h Na ferwa fynn yn llaeth ei h Exod. 23.
fam. 19. a 34. 26

22 i Gan ddegymmu degymma holl gyn- i Pen. 12.
nyrch dy had, *sef* ffrwyth dy faes, bob 6, 17.
blwyddyn.

23 A bwytta ger bron yr ARGLWYDD dy DDUW (yn y lle a ddewiso efe i drigo
o'i enw ef ynddo) k ddegwm dy ŷd, dy k Pen. 15.
win, a'th olew, a chyntaf-anedig dy war- 19, 20.
theg, a'th ddefaid; fel y dysgech ofni 'r ARGLWYDD dy DDUW bob amser.

24 A phan fyddo 'r ffordd ry hir i ti, fel na ellych ei ddwyn ef, *neu os* y lle fydd ym mhell oddi wrthyt, yr hwn a ddewiso 'r ARGLWYDD dy DDUW i osod ei enw ynddo, pan y'th fendithio yr ARGLWYDD dy DDUW:

25 Yna dod *ei werth* yn arian; a rhwym yr arian yn dy law, a dos i'r lle a ddewiso 'r ARGLWYDD dy DDUW:

26 A dod yr arian am yr hyn oll a
§ chwennycho dy galon; am wartheg, neu § Heb.
am ddefaid, neu am win, neu am ddïod *ddymuno dy*
gref, neu am yr hyn oll a ddymuno dy *galon gennyt.*
galon: a bwytta yno ger bron yr ARGLWYDD dy DDUW, a llawenycha di, â'th deulu.

27 A'r l Lefiad yr hwn *fyddo* yn dy byrth, l Pen. 12.
na wrthod ef: am m nad *oes* iddo *na* rhan 19.
nac etifeddiaeth gyd â thi. m Num. 18. 20.

28 ¶ n Ym mhen tair blynedd y dygi Pen. 18. 1.
allan holl ddegwm dy gnwd y flwyddyn n Pen. 26.
honno: a dyro *ef* i gadw o fewn dy byrth. 12.

29 A'r Lefiad (am o nad oes iddo ran o Adn. 27.
nac etifeddiaeth gyd â thi) a'r dieithr, a'r ymddifad, a'r weddw, y rhai *fydd* yn dy byrth di, a ddeuant, ac a fwyttânt, ac a
ddigonir; fel p y'th fendithio 'r ARGLWYDD p Edrych
dy DDUW ym mhob gwaith a wnelych â'th Mal. 3. 10.
law.

## PEN. XV.

1 *Y seithfed flwyddyn yn flwyddyn gollyng-* Mawrth
*dod i'r tlodion: 7 etto na's dylai rwystro* 1. B.
*benthyccio neu roddi. 12 Gwas o Hebread, 16 oddi eithr iddo fod yn anfoddlon i ymadael, sydd raid ei ollwng ymaith yn rhydd y seithfed flwyddyn; ond nid yn waglaw. 19 Rhaid yw cyssegru pob gwrryw cyntaf-anedig o'r anifeiliaid i'r* 1454.
*Arglwydd.* a Exod. 21. 2. a 23. 10. Lef. 25. 3, 4.

YM mhen a pob saith mlynedd gwna
ollyngdod. Jer. 34. 14.

2 A dyma wedd y gollyngdod. Gollyng-
† Heb. *meistr echwyn ei law.* ed pob † echwynwr i'w gymmydog yn
rhŷdd ei echwyn a echwynodd efe: na fyn-
ned *hynny* drachefn gan ei gymmydog, neu
ei frawd; canys cyhoeddwyd gollyngdod yr
Arglwydd.
b Edrych Pen. 3. 20. 3 b Ti a elli fynnu drachefn gan y dïeithr;
ond gollynged dy law yn rhydd *yr hyn* sydd
i ti gyd â'th frawd:
‡ *Ond pan na byddo.* 4 ‡ Megis na byddo o honot ti gardottyn:
canys yr Arglwydd gan fendithio a'th
fendithia di, yn y tir y mae 'r Arglwydd
dy Dduw yn ei roddi i ti yn etifeddiaeth i'w
feddiannu;
5 Yn unig os gan wrando y gwrandewi
ar lais yr Arglwydd dy Dduw, gan gadw
a gwneuthur yr holl orchymynion yma, y
rhai yr ydwyf fi yn eu gorchymyn i ti he-
ddyw.
6 Canys yr Arglwydd dy Dduw a'th
c Pen. 28. 12, 44. fendithia, megis y llefarodd wrthyt, fel c y
benthycciech i genhedloedd lawer, ac na
fenthycciech di *ganddynt;* ti hefyd a ar-
glwyddiaethi ar genhedloedd lawer, ac nid
arglwyddiaethant hwy arnat ti.
7 ¶ Os bydd yn dy fysg di un o'th
frodyr yn dlawd o fewn un o'th byrth, yn
dy dir yr hwn y mae 'r Arglwydd dy
Dduw yn ei roddi it', na chaleda dy galon,
ac na chau dy law oddi wrth dy frawd
tlawd:
d Mat. 5. 42. 8 d Ond gan agoryd agor dy law iddo, a
Luc 6. 34, chan fenthyccio benthyccia ddigon i'w angen
35. ef, *yr hyn* fyddo arno ei eisiau.
§ Heb. *Belial.* 9 Gwylia arnat, rhag bod yn dy galon
‖ Heb. *air.* § ddrwg ‖ feddwl i ddywedyd, Agos yw 'r
seithfed flwyddyn, blwyddyn y gollyngdod;
e Pen. 28. 54, 56. a bod dy e lygad yn ddrwg yn erbyn dy
Diar. 23. frawd tlawd, rhag rhoddi iddo, a llefain o
6. a 28. 22. hono ef ar yr Arglwydd rhagot, a'i fod
Mat. 20. 15. yn bechod i ti.
10 Gan roddi dod iddo, ac na fydded
drwg gan dy galon pan roddych iddo: ca-
nys o achos y peth hyn y'th fendithia 'r Ar-
glwydd dy Dduw yn dy holl waith, ac yn
yr hyn oll y dodych dy law arno.
f Mat. 26. 11. 11 Canys f ni dderfydd y tlawd o ganol y
Ioan 12. 8. tir: am hynny 'r ydwyf fi yn gorchymyn i
ti, gan ddywedyd, Gan agoryd agor dy law
i'th frawd, i'th anghenus ac i'th dlawd, yn
dy dir.
g Exod. 21. 2. 12 ¶ g Os gwerthir dy frawd, Hebread,
Jer. 34. 14. neu Hebrees, i ti, a'th wasanaethu chwe
blynedd; y seithfed flwyddyn gollwng ef
yn rhŷdd oddi wrthyt.
13 A phan ollyngech ef yn rhŷdd oddi
wrthyt, na ollwng ef yn wag:
14 Gan lwytho llwytha ef o'th braidd, ac
o'th ysgubor, ac o'th win-wrŷf: *o'r hyn* y'th
fendithiodd yr Arglwydd dy Dduw, dod
iddo.
15 A chofia mai gwas fuost yn nhir yr
Aipht, a'th waredu o'r Arglwydd dy
Dduw: am hynny 'r ydwyf yn gorchymyn
y peth hyn i ti heddyw.
16 Ond os dywaid wrthyt, Nid af allan
oddi wrthyt; am ei fod yn dy hoffi di a'th
dŷ; o herwydd bod yn dda arno ef gyd â
thi:
h Exod. 21. 6. 17 h Yna cymmer fynawyd, a dod trwy
ei glust ef, ac yn y ddôr; a bydded yn was
i ti byth: felly hefyd y gwnei i'th for-
wyn.
18 Na fydded caled gennyt ei ollwng ef
i Edrych Esay 16. yn rhŷdd oddi wrthyt, canys gwasanaeth-
14. a 21. 16. odd di werth i dau gyflog gweinidog, chwe
blynedd: a'r Arglwydd dy Dduw a'th
fendithia yn yr hyn oll a wnelych.
19 ¶ k Pob cyntaf-anedig yr hwn a k Exod. 13. 2. a 34. 19.
enir o'th wartheg, neu o'th ddefaid, yn Lef. 27. 26.
wrryw, a gyssegri di i'r Arglwydd Num. 3. 13.
dy Dduw: na weithia â chyntaf-anedig dy
ychen, ac na chneifia gyntaf-anedig dy
ddefaid.
20 l Ger bron yr Arglwydd dy Dduw l Pen. 12. 7, 17. a 14.
y bwyttâi ef bob blwyddyn, yn y lle a dde- 23. a 16. 11,
wiso 'r Arglwydd, ti a'th deulu. 14.
21 m Ond os bydd anaf arno, *os* cloff m Lef. 22. 20.
neu ddall fydd, *neu arno* ryw ddrwg anaf
*arall;* na abertha ef i'r Arglwydd dy Pen. 17. 1. Eccl. 35. 12.
Dduw.
22 O fewn dy byrth y bwyttâi ef: n yr n Pen. 12. 15.
aflan a'r glân ynghŷd *a'i bwytty,* megis yr
iwrch, ac megis y carw.
23 o Etto na fwytta ei waed ef; tywallt o Pen. 12. 16, 23.
hwnnw ar y ddaear fel dwfr.

## PEN. XVI.

1 *Gwyl y Pasg,* 9 *yr wythnosau,* 13 *y pebyll.* Y Sul-
16 *Rhaid i bob gwrryw offrwm, yn ol ei* gwyn, B.
*allu, ar y tair gwyl hyn.* 18 *Am farnwŷr* Gwyl w. 18.
*a barn gyfiawn.* 21 *Gwahardd llwynau a* Mawrth
*delwau.* 1. P.

CADW a 'r mis Abib, a chadw Basg i'r 1451.
Arglwydd dy Dduw: canys b o a Exod. 12. 2, &c.
fewn y mis Abib y dug yr Arglwydd dy
Dduw di allan o'r Aipht, c o hŷd nos. b Exod. 13. 4.
2 Abertha dithau yn Basg i'r Arglwydd c Exod. 12. 29, 42.
dy Dduw, o ddefaid a d gwartheg, yn e y
lle a ddewiso'r Arglwydd dy Dduw i d Num. 28. 19.
drigo o'i enw ef yno.
3 f Na fwytta fara lefeinllyd gyd ag ef: e Pen. 12. 5.
saith niwrnod y bwyttâi gyd ag ef fara
croyw, *sef* bara cystudd: (canys ar ffrwst y f Exod. 12. 15, 19. a 34. 18.
daethost allan o dir yr Aipht) fel y cofiech
ddydd dy ddyfodiad allan o dir yr Aipht
holl ddyddiau dy einioes.
4 g Ac na weler gennyt surdoes yn dy holl g Exod. 34. 25.
derfynau saith niwrnod; ac h nac arhoed
dros nos hyd y bore *ddim* o'r cig a aberthaist h Exod. 12. 10.
yn yr hwyr, ar y dydd cyntaf.
5 Ni elli † aberthu 'r Pasg o fewn yr un † Neu, *ladd.*
o'th byrth, y rhai y mae 'r Arglwydd dy
Dduw yn eu rhoddi it':
6 Ond yn y lle a ddewiso 'r Arglwydd
dy Dduw i drigo o'i enw ef ynddo; yno 'r
aberthi 'r Pasg yn yr hwyr, ar fachludiad
haul, y pryd y daethost allan o'r Aipht.
7 Yna y rhosti, ac y bwyttâi ef, yn y lle a
ddewiso 'r Arglwydd dy Dduw: a'r bore
y dychweli, ac yr ai i'th babellau.
8 Chwe diwrnod y bwyttâi fara croyw:
ac ar y seithfed dydd *y mae* ‡ uchel-wyl i'r ‡ Heb.
Arglwydd dy Dduw; ni chai wneuthur *gwaharddiad.*
gwaith *ynddo.*
9 ¶ i Cyfrif it' saith wythnos: pan dde- i Exod. 23.
chreuo'r crymman ar yr ŷd, y dechreui rifo'r 16. a 34. 22. Lef. 23. 15.
saith wythnos. Num. 28. 26.
10 A chadw wyl yr wythnosau i'r Ar-
glwydd dy Dduw, ag offrwm gwirfodd dy
law, yr hwn a roddi, megis y'th fendithio yr
Arglwydd dy Dduw.
11 A llawenycha ger bron yr Arglwydd
dy Dduw, ti, a'th fab, a'th ferch, a'th
was, a'th forwyn, a'r Lefiad *a fyddo* o fewn
dy byrth, a'r dïeithr, a'r ymddifad, a'r
weddw, *sydd* yn dy fysg, yn y lle a ddewiso
yr Arglwydd dy Dduw i drigo o'i enw
ef ynddo.
12 Cofia hefyd mai caethwas fuost
yn yr Aipht; a chadw a gwna'r deddfau
hyn.

k Exod. 23. 16. Lef. 23. 34. Num. 29. 12. 13 ¶ k Cadw it' wyl y pebyll saith
niwrnod, wedi it' gasglu dy † ŷd a'th
win.
† Heb. *lawr-dyrnu a'th winwryf.* 14 A l llawenycha yn dy wyl, ti, a'th fab,
a'th ferch, a'th was, a'th forwyn, a'r Le-
fiad, a'r dïeithr, a'r ymddifad, a'r weddw,
y rhai *fyddant* o fewn dy byrth.
l Neh. 8. 9, &c. 15 Saith niwrnod y cedwi wyl i'r ARGLWYDD dy DDUW, yn y lle a ddewiso'r
ARGLWYDD: canys yr ARGLWYDD dy
DDUW a'th fendithia yn dy holl gnwd, ac
yn holl waith dy ddwylaw; am hynny bydd
dithau lawen.
m Exod. 23. 14, 17. a 34. 23. 16 ¶ m Tair gwaith yn y flwyddyn yr
ymddengys pob gwrryw o honot o flaen yr
ARGLWYDD dy DDUW, yn y lle a ddewiso
efe; ar wyl y bara croyw, ac ar wyl yr
n Exod. 23. 15. a 34. 20. Preg. 35. 4. wythnosau, ac ar wyl y pebyll: ond n nac
ymddangosed neb o flaen yr ARGLWYDD
yn waglaw.
17 Pob un yn ol rhodd ei law, yn ol ben-
dith yr ARGLWYDD dy DDUW yr hon a
roddes efe i ti.
o 1 Chron. 23. 4. a 26. 29. 2 Chron. 19. 8. 18 ¶ o Gwna it' farnwŷr a blaenorion
yn dy holl byrth, y rhai y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn eu rhoddi it' trwy
dy lwythau; a barnant hwy'r bobl â barn
gyfiawn.
p Exod. 23. 8. Lef. 19. 15. Diar. 17. 8, 23. Preg. 7. 7. Eccl. 20. 29. 19 p Na wyra farn, *ac* na chydnebydd
wynebau; na dderbyn wobr 'chwaith: canys
gwobr a ddalla lygaid y doethion, ac a wyra
‡ eiriau 'r cyfiawn.
‡ Neu, *achosion.* 20 Cyfiawnder, cyfiawnder a ddilyni; fel
y byddych fyw, ac yr etifeddych y tir yr
hwn y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei
roddi it'.
21 ¶ Na phlanna it' lwyn *o* neb rhyw goed
ger llaw allor yr ARGLWYDD dy DDUW, yr
hon a wnai it'.
q Lef. 26. 1. § *ddelw.* 22 q Ac na chyfod it' § golofn; yr hyn
sydd gas gan yr ARGLWYDD dy DDUW.

## PEN. XVII.

Mawrth 2. B. 1 *Rhaid yw bod y pethau a offrymmir yn
ddianaf.* 2 *Rhaid yw lladd delw-addol-
wŷr.* 8 *Ymrafaelion caled a fernir gan yr
offeiriaid a'r barnwŷr.* 12 *Yr hwn a
ddiystyro'r cyfryw farn, a roddir i farw-
olaeth.* 14 *Dewisiad,* 16 *a dyledswydd
brenhin.*

1451. NAC a abertha i'r ARGLWYDD dy
a Pen. 15. 21. Mal. 1. 8. DDUW ŷch neu † ddafad y byddo arno
anaf, *neu* ddim gwrthuni: canys casbeth yr
† Neu, *afr.* ARGLWYDD dy DDUW *yw* hynny.
b Pen. 13. 6. 2 ¶ b Pan gaffer yn dy blith di, o fewn
un o'th byrth y rhai y mae'r ARGLWYDD
dy DDUW yn eu rhoddi it', wr neu wraig
a wnaeth ddrygioni yngolwg yr ARGLWYDD dy DDUW, gan droseddu ei gyf-
ammod ef,
3 Ac a aeth ac a wasanaethodd dduwiau
dïeithr, ac a ymgrymmodd iddynt, i'r
c Pen. 4. 19. Job 31. 26. c haul, neu i'r lleuad, neu i holl lu'r nef-
oedd, yr hyn ni orchymynais;
4 Pan ddangoser i ti, a chlywed o honot,
yna cais yn dda: ac wele, os gwirionedd
*yw, a* bod yn sicr wneuthur y ffieidd-dra hyn
d Lef. 24. 14, 16. yn Israel;
e Num. 35. 30. Pen. 19. 15. Marc 18. 16. Ioan 8. 17. 2 Cor. 13. 1. 1 Tim. 5. 19. Heb. 10. 28. 5 Yna dwg allan y gwr hwnnw, neu'r
wraig honno (a wnaethant y peth drygionus
hyn) i'th byrth, *sef* y gwr neu'r wraig, a
d llabyddia hwynt â meini, fel y byddont
feirw.
6 e Wrth dystiolaeth dau o dystion, neu
dri o dystion, y rhoddir i farwolaeth yr hwn
a fyddo marw: na rodder ef i farwolaeth
wrth dystiolaeth un tyst.
7 f Llaw 'r tystion a fydd arno yn gyntaf f Pen. 13. 9.
i'w farwolaethu ef, a llaw 'r holl bobl wedi
hynny: g a thi a dynni ymaith y drwg o'th g Pen. 13. 5.
blith.
8 ¶ h Os bydd peth mewn barn yn rhy h 2 Chron. 19. 10.
galed i ti, i rhwng gwaed a gwaed, rhwng Hag. 2. 11. Mal. 2. 7.
hawl a hawl, neu rhwng ‡ pla a phla, i Edrych Exod. 21. 13, 20, 22, 28. a 22. 2. Num. 35. 11, 16, 19. Pen. 19. 4, 10.
*mewn* pethau amrafaelus o fewn dy byrth;
yna cyfod, a dos i fynu i'r lle a ddewiso'r
ARGLWYDD dy DDUW:
9 A k dos at yr offeiriaid y Lefiaid, ac
l at y barnwr a fyddo yn y dyddiau hynny,
ac ymofyn; a hwy a ddangosant i ti reol y
farnedigaeth. ‡ *dyrnod.*
10 A gwna yn ol rheol y gair a ddang- k Edrych Jer. 18. 18.
osant i ti, o'r lle hwnnw a ddewiso'r ARGLWYDD; ac edrych am wneuthur yn ol yr l Pen. 19. 17.
hyn oll a ddysgant i ti.
11 Yn ol rheol y gyfraith a ddysgont it',
ac yn ol y farn a ddywedont i ti, y gwnei:
na chilia oddi wrth y peth a ddangosont i ti,
i'r tu dehau nac i'r tu aswy.
12 m A'r gwr a wnel mewn rhyfyg, heb m Hos. 4. 4.
wrando ar yr offeiriad (sydd yn sefyll yno i
wasanaethu'r ARGLWYDD dy DDUW) neu
ar y barnwr; yna rhodder i farwolaeth y
gwr hwnnw: a thynn ymaith y drwg o
Israel.
13 A'r holl bobl a glywant, ac a ofnant;
ac ni ryfygant mwy.
14 ¶ Pan ddelych i'r tir y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi i ti, a'i
feddiannu, a thrigo ynddo, os dywedi,
n Gosodaf arnaf frenhin, megis yr holl gen- n 1 Sam. 8. 5.
hedloedd *sydd* o'm hamgylch:
15 Gan osod gosod arnat frenhin o yr o Edrych
hwn a ddewiso'r ARGLWYDD dy DDUW: 1 Sam. 9.
p o blith dy frodyr y gosodi arnat frenhin; 15. a 10. 24. a 16. 12.
ni elli roddi arnat wr dïeithr yr hwn nid *yw* 1 Chron. 22. 10.
frawd i ti.
16 Ond nac amlhâed iddo q feirch, ac na p Jer. 30. 21.
r ddychweled efe y bobl i'r Aipht i amlhâu
meirch; gan i'r s ARGLWYDD ddywedyd q 1 Bren. 4. 26. a 10. 26, 28.
wrthych, t Na 'chwanegwch ddychwelyd y
ffordd honno mwy. r Esay 31. 1.
17 Ac nac amlhâed iddo wragedd, fel u na Ezec. 17. 15.
wyro ei galon; ac nac amlhâed arian ac aur
lawer iddo. s Exod. 13. 17.
18 A phan eisteddo ar deyrn-gadair ei Num. 13.
frenhiniaeth, 'sgrifened iddo gopi o'r gyf- 3, 4.
raith hon mewn llyfr, allan x o'r *hwn sydd* t Pen. 28. 68.
ger bron yr offeiriaid y Lefiaid. Hos. 11. 5.
19 A y bydded gyd ag ef, a darllened Edrych
arno holl ddyddiau ei fywyd: fel y dysgo Jer. 42. 15.
ofni'r ARGLWYDD ei DDUW, i gadw holl u Edrych
eiriau 'r gyfraith hon, a'r deddfau hyn, i'w 1 Bren. 11. 3, 4.
gwneuthur hwynt:
20 Fel na ddyrchafo ei galon uwch law x Edrych 2 Bren. 22. 8.
ei frodyr, ac na chilio oddi wrth y gor-
chymyn, i'r tu dehau nac i'r tu as- y Jos. 1. 8.
wy: fel yr estynno ddyddiau yn ei fren-
hiniaeth, efe a'i feibion ynghanol Is-
rael.

## PEN. XVIII.

1 *Yr Arglwydd yw etifeddiaeth yr offeiriaid a'r Lefiaid.* 3 *Defod yr offeiriaid.* 8 *Rhan y Lefiaid.* 9 *Rhaid yw gochelyd ffieidd-dra'r cenhedloedd.* 15 *Rhaid yw gwrando ar Grist y prophwyd.* 20 *Rhoddi'r prophwyd rhyfygus i farwolaeth.* Mawrth 2. P.

1451.
a NI bydd i'r offeiriaid, i'r Lefiaid, i holl a Num. 18. 20.
lwyth Lefi, ran nac etifeddiaeth Pen. 10. 9.

yngh∤d ag Israel: ebyrth tanllyd yr AR-
b 1 Cor. 9. 13. GLWYDD, a'i etifeddiaeth ef, b a fwyttânt
hwy.
2 Am hynny etifeddiaeth ni bydd iddynt
ym mhlith eu brodyr: yr ARGLWYDD *yw*
eu hetifeddiaeth hwy, megis ag y dywed-
odd wrthynt.
3 ¶ A hyn fydd defod yr offeiriaid oddi
wrth y bobl, oddi wrth y rhai a aberthant
aberth, *pa un bynnag* ai eidion ai dafad;
c Lef. 7. 30—34. c rhoddant i'r offeiriaid yr ysgwyddog, a'r
ddwy ên, a'r botten.
d Num. 18. 12, 24. 4 d Blaen-ffrwyth dy ŷd, dy win, a'th
olew, a blaen-ffrwyth cnaif dy ddefaid, a
roddi iddo ef.
e Exod. 28. 1. Num. 3. 10. 5 Canys e dewisodd yr ARGLWYDD dy
DDUW ef o'th holl lwythau di, i sefyll i wa-
sanaethu yn enw'r ARGLWYDD, efe a'i fei-
bion yn dragywydd.
6 ¶ A phan ddelo Lefiad o un o'th byrth
di yn holl Israel, lle y byddo efe yn ym-
daith, a dyfod â holl ddymuniad ei galon
i'r lle a ddewiso 'r ARGLWYDD;
7 Yna gwasanaethed efe yn enw'r AR-
GLWYDD ei DDUW, megis ei holl frodyr y
Lefiaid, y rhai sydd yn sefyll yno ger bron
yr ARGLWYDD.
8 Rhan am ran a fwyttânt, heb law
gwerth yr hyn sy'n dyfod oddi wrth *ei*
dadau.
9 ¶ Pan elych di i'r tir y mae'r AR-
GLWYDD dy DDUW yn ei roddi it', na
ddysg wneuthur yn ol ffieidd-dra'r cen-
hedloedd hynny.
10 Na chaffer ynot a wnelo i'w fab, neu
f Lef. 18. 21. i'w ferch, f fyned trwy'r tân; g *neu* a arfero
ddewiniaeth, *na* phlanedydd, na darog-
g Lef. 19. 26, 31. a 20. 27. Esay 8. 19. anwr, na hudol,
11 h Na swynwr swynion, nac a geisio
*wybodaeth gan* gonsuriwr, neu frudiwr, nac
h Lef. 20. 27. i a ymofyno â'r meirw:
12 O herwydd ffieidd-dra *gan* yr AR-
i 1 Sam. 28. 7. GLWYDD *yw* pawb a wnelo hyn; ac o achos
y ffieidd-dra hyn y mae'r ARGLWYDD dy
DDUW yn eu gyrru hwynt allan o'th
flaen di.
† Neu, union, neu, bur. 13 Bydd † berffaith gyd â'r ARGLWYDD
dy DDUW.
14 Canys y cenhedloedd hyn, y rhai a
‡ Neu, etifeddi. ‡ feddienni di, a wrandawsant ar blaned-
yddion, ac ar ddewiniaid: ond am danat
ti, nid felly y caniattaodd yr ARGLWYDD
dy DDUW i ti.
k Ioan 1. 45. Act. 3. 22. a 7. 37. 15 ¶ k Yr ARGLWYDD dy DDUW a gy-
fyd i ti, o'th blith dy hun, o'th frodyr dy
hun, Brophwyd megis finnau; arno ef y
gwrandêwch.
16 Yn ol yr hyn oll a geisiaist gan yr AR-
l Pen. 9. 10. GLWYDD dy DDUW yn Horeb, l yn nydd
m Exod. 20. 19. Heb. 12. 19. y gymmanfa, gan ddywedyd, m Na chlyw-
wyf mwyach lais yr ARGLWYDD fy NUW,
ac na welwyf y tân mawr hwn mwyach,
rhag fy marw.
17 A dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf,
n Pen. 5. 28. n Da *y dywedasant* yr hyn a ddyweda-
sant.
o Ioan 1. 45. Act. 3. 22. a 7. 37. 18 o Codaf Brophwyd iddynt o fysg eu
brodyr, fel tithau, a p rhoddaf fy ngeiriau
yn ei enau ef; ac q efe a lefara wrthynt yr
p Esay 51. 16. hyn oll a orchymynwyf iddo.
19 A phwy bynnag ni wrandawo ar fy
q Ioan 4. 25. ngeiriau, y rhai a lefara efe yn fy enw,
myfi a'i gofynaf ganddo.
r Pen. 13. 5. 20 r Y prophwyd hefyd, yr hwn a ry-
Jer. 14. 14. Zec. 13. 3. fyga lefaru yn fy enw air ni orchymynais
iddo ei lefaru, neu'r hwn a lefaro yn enw
duwiau dieithr; rhodder y prophwyd hwn-
nw i farwolaeth.
21 Ac os dywedi yn dy galon, Pa fodd
yr adnabyddwn y gair ni lefarodd yr AR-
GLWYDD?
22 s Yr hyn a lefaro'r prophwyd hwn- s Jer. 28. 9.
nw yn enw'r ARGLWYDD, t a'r gair heb t Edrych
fod, ac heb ddyfod i ben, hwnnw yw'r Pen. 13. 2.
gair ni lefarodd yr ARGLWYDD; y pro-
phwyd a'i llefarodd mewn rhyfyg: nac
ofna ef.

## PEN. XIX.

1 *Dinasoedd noddfa;* 4 *a braint llofrudd yn-* Mawrth 3. B.
*ddynt.* 14 *Na symmuder terfyn tir.* 15
*Rhaid yw bod dau o dystion o'r lleiaf.* 19
*Cospedigaeth gau dyst.*

PAN a dorro'r ARGLWYDD dy DDUW 1451. a Pen. 12. 29.
ymaith y cenhedloedd y mae'r AR-
GLWYDD dy DDUW yn rhoddi eu tir i ti,
a'i † feddiannu o honot ti, a phreswylio yn † Neu, etifeddu.
eu dinasoedd ac yn eu tai;
2 b Neilldua it' dair dinas ynghanol dy b Exod. 21. 13. Num. 35. 10.
dir, yr hwn y mae'r ARGLWYDD dy DDUW
yn ei roddi it' i'w feddiannu.
3 Parottoa ffordd i ti, a thraiana derfyn Jos. 20. 2.
dy dir, yr hwn a rydd yr ARGLWYDD dy
DDUW yn etifeddiaeth it', fel y byddo i bob
llofrudd ffoi yno.
4 ¶ c Dyma gyfraith y llofrudd, yr hwn c Pen. 4. 42.
a ffŷ yno, i fyw: yr hwn a darawo ei gym-
mydog heb wybod, ac yntau heb ei gasâu
ef ‡ o'r blaen; ‡ Heb. er doe ac echdoe.
5 Megis pan elo *un* gyd â'i gymmydog
i'r coed i gymmynu pren, ac a estyn ei law
â'r fwyall i dorri'r pren, a syrthio'r haiarn
§ o'r menybr, a chyrhaeddyd ei gymmydog, § Heb. oddi ar y pren, a chaffael, &c.
fel y byddo farw; efe a gaiff ffoi i un o'r
dinasoedd hyn, a byw:
6 d Rhag i ddïalydd y gwaed ddilyn ar d Num. 35. 12.
ol y llofrudd, a'i galon yn llidiog, a'i oddi-
weddyd, am fod y ffordd yn hir, a'i daro
ef yn || farw, er nad *oedd* ynddo ef haedde- || Heb. yn ei einioes.
digaeth marwolaeth, am nad oedd efe yn
ei gasâu ef † o'r blaen. † Heb. er doe ac echdoe.
7 Am hynny'r ydwyf yn gorchymyn
i ti, gan ddywedyd, Tair dinas a neilldui
i ti.
8 A phan e helaetho'r ARGLWYDD dy e Gen. 15. 18. Pen. 12. 20.
DDUW dy derfyn, fel y tyngodd wrth dy
dadau, a rhoddi i ti'r holl dir a addawodd
efe ei roddi wrth dy dadau;
9 Os cedwi'r gorchymynion hyn oll,
gan wneuthur yr hyn yr ydwyf fi yn ei or-
chymyn it' heddyw, i garu'r ARGLWYDD
dy DDUW, a rhodio yn ei ffyrdd ef bob
amser; f yna y 'chwanegi i ti dair dinas f Jos. 20. 7.
hefyd at y tair hyn:
10 Fel na ollynger gwaed gwirion o fewn
dy dir, yr hwn y mae'r ARGLWYDD dy
DDUW yn ei roddi it' yn etifeddiaeth; ac na
byddo gwaed i'th erbyn.
11 ¶ Ond g os bydd gwr yn casâu ei g Exod. 21. 12. &c. Num. 35. 16, 24. Pen. 27. 24.
gymmydog, ac yn cynllwyn iddo, a chodi
yn ei erbyn, a'i ddïeneidio fel y byddo
farw, a ffoi i un o'r dinasoedd hyn;
12 Yna anfoned henuriaid ei ddinas ef,
a chymmerant ef oddi yno, a rhoddant ef
yn llaw dïalydd y gwaed, fel y byddo
farw.
13 Nac arbeded dy lygad ef, ond tynn
ymaith *affaith* gwaed gwirion o Israel, fel y
byddo daioni it'.
14 ¶ h Na symmud derfyn dy gymmy- h Pen. 27. 17. Diar. 22. 28.
dog, yr hwn a derfynodd y rhai a fu o'r
blaen, o fewn dy etifeddiaeth yr hon a Hos. 5. 10.

feddiannu, yn y tir y mae 'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi i ti i'w feddiannu.

15 ¶ i Na choded un tyst yn erbyn neb am ddim anwiredd, neu ddim pechod, o'r holl bechodau a becho efe: wrth dystiolaeth dau o dystion, neu wrth dystiolaeth tri o dystion, y bydd safadwy 'r peth.

i Num. 35. 30. Pen. 17. 6. Mat. 18. 16. Ioan 8. 17. 2 Cor. 13. 1. Heb. 10. 28.

16 ¶ Os cyfyd gau dyst yn erbyn neb, gan dystiolaethu bai yn ei erbyn ef;

17 Yna safed y ddau ddyn *y mae*'r amrafael rhyngddynt ger bron yr ARGLWYDD, k o flaen yr offeiriaid a'r barnwŷr a fyddo yn y dyddiau hynny.

k Pen. 17. 9.

18 Ac ymofyned y barnwŷr yn dda: ac *os* y tyst *fydd* dyst ffals, *ac* a dystiolaetha ar gam yn erbyn ei frawd;

19 l Yna gwnewch iddo fel yr amcanodd wneuthur i'w frawd: m a thynn ymaith y drwg o'th fysg.

l Diar. 19. 5, 9. Dan. 13. 62. m Pen. 13. 5. a 17. 7. a 22. 21, 24.

20 A'r lleill a glywant, ac a ofnant, ac ni chwanegant wneuthur mwy yn ol y peth drygionus hyn yn dy blith.

21 Ac nac arbeded dy lygad: *bydded* n einioes am einioes, llygad am lygad, dant am ddant, llaw am law, troed am droed.

n Exod. 21. 23. Lef. 24. 20. Mat. 5. 38.

## PEN. XX.

Mawrth 3. P.

1 *Araith yr offeiriaid i annog y bobl i ryfel.* 5 *Cyhoeddiad y swyddogion pwy sydd i'w gollwng adref o'r rhyfel.* 10 *Pa beth a wneir i'r dinasoedd a dderbyniant neu a wrthodant ammodau heddwch.* 16 *Pa ddinasoedd sydd raid eu haddunedu.* 19 *Ni wasanaetha dinystrio preniau ymborth dyn, wrth warchae ar ddinas.*

1451. PAN elych i ryfel yn erbyn dy elynion, a gweled a meirch a cherbydau, *a* phobl fwy nâ thi, nac ofna rhagddynt: o herwydd yr ARGLWYDD dy DDUW *fydd* gyd â thi, yr hwn a'th ddug di i fynu o dir yr Aipht.

a Edrych Psal. 20. 7. Esay 31. 1.

2 A bydd, pan nesaoch i'r frwydr, yna ddyfod o'r offeiriad, a llefaru wrth y bobl,

3 A dywedyd wrthynt, Clyw, Israel: Yr ydych chwi yn nesâu heddyw i'r frwydr yn erbyn eich gelynion: na feddalhâed eich calon, nac ofnwch, na † synnwch, ac na ddychrynwch rhagddynt.

† Heb. *phrysurach.*

4 Canys yr ARGLWYDD eich DUW *sydd* yn myned gyd â chwi, i ryfela â'ch gelynion trosoch chwi, *ac* i'ch achub chwi.

5 ¶ A'r llywiawdwŷr a lefarant wrth y bobl, gan ddywedyd, Pa wr *sydd* a adeiladodd dŷ newydd, ac ni's b cyssegrodd ef? eled a dychweled i'w dŷ, rhag ei farw yn y frwydr, ac i wr arall ei gyssegru ef.

b Edrych Neh. 12. 27. Psal. 30. tit.

6 A pha wr *sydd* a blannodd winllan, ac ni's ‡ mwynhaodd hi? eled a dychweled i'w dŷ, rhag ei farw yn y frwydr, ac i wr arall ei mwynhâu hi.

‡ Heb. *cyffredinodd.* Edrych Lef. 19. 23, 24.

7 c A pha wr sydd a ymgredodd â gwraig, ac ni chymmerodd hi? eled a dychweled i'w dŷ, rhag ei farw mewn rhyfel, ac i wr arall ei chymmeryd hi.

Pen. 28. 30. c Pen. 24. 5.

8 Y llywiawdwŷr *hefyd* a chwanegant lefaru wrth y bobl, ac a ddywedant, d Pa wr *sydd* ofnus a meddal galon? eled a dychweled i'w dŷ, fel na § lwfrhao efe galon ei frawd megis ei galon yntau.

d Barn. 7. 3. § Heb. *thoddo.*

9 A bydded, pan ddarffo i'r llywiawdwŷr lefaru wrth y bobl, osod o honynt dywysogion y lluoedd yn ben ar y bobl.

10 ¶ Pan nesâech at ddinas i ryfela yn ei herbyn, e cyhoedda iddi heddwch.

e 2 Sam. 20. 18.

11 A bydded, os heddwch a etyb hi i ti, ac agoryd it'; yna bydded i'r holl bobl a gaffer ynddi, fod i ti dan deyrn-ged, a'th wasanaethu.

12 Ac oni heddycha hi â thi, ond gwneuthur rhyfel â thi; yna gwarchae arni hi.

13 Pan roddo 'r ARGLWYDD dy DDUW hi yn dy law di, f taro ei holl wrrywiaid â min y cleddyf.

f Num. 31. 7.

14 Yn unig y benywaid, a'r plant, ar g anifeiliaid, a phob dim a'r a fyddo yn y ddinas, *sef* ei holl yspail a yspeili i ti: a thi a fwynhâi yspail dy elynion, yr hwn a rydd yr ARGLWYDD dy DDUW i ti.

g Jos. 8. 2.

15 Felly y gwnai i'r holl ddinasoedd pell iawn oddi wrthyt, y rhai nid *ydynt o* ddinasoedd y cenhedloedd hyn.

16 Ond h o ddinasoedd y bobloedd hyn, y rhai y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn eu rhoddi it' yn etifeddiaeth, na chadw un enaid yn fyw:

h Num. 33. 52. Pen. 7. 1, 2.

17 Ond gan ddifrodi difroda hwynt; *sef* yr Hethiaid, a'r Amoriaid, y Canaaneaid, a'r Phereziaid, yr Hefiaid, a'r Jebusiaid; megis y gorchymynodd yr ARGLWYDD dy DDUW i ti:

18 Fel na ddysgont i chwi wneuthur yn ol eu holl ffieidd-dra hwynt, y rhai a wnaethant i'w duwiau, a phechu o honoch yn erbyn yr ARGLWYDD eich DUW.

19 ¶ Pan warchâech ar ddinas lawer o ddyddiau, gan ryfela yn ei herbyn i'w hennill hi, na ddifetha ei choed hi, gan daro bwyall arnynt: canys o honynt y bwyttâi; na thorr dithau hwynt i lawr (o herwydd || *bywyd* dyn *yw* pren y maes) † i'w gosod yn y gwarch-glawdd.

|| Neu, *o ddyn, pren y maes sydd i'w osod, &c.* † Heb. *i fyned o'th flaen.*

20 Yn unig y pren y gwyddost nad pren ymborth *yw*, hwnnw a ddifethi ac a dorri; ac a adeiledi warch-glawdd yn erbyn y ddinas fydd yn gwneuthur rhyfel â thi, hyd oni ‡ orchfyger hi.

‡ *ymddarostyngo.*

## PEN. XXI.

Mawrth 4. B.

1 *Y modd i ymddiheuro oddi wrth lofruddiaeth, heb wybod pwy a'i gwnaeth.* 10 *Y modd y mae trin caethferch a briodo un.* 15 *Na ddylid dietifeddu'r cyntaf-anedig o ran cas.* 18 *Rhaid yw llabyddio mab anufudd.* 22 *Na adawer drwg-weithredwr ynghrôg dros nos.*

OS ceir un wedi ei ladd o fewn y tir yr hwn y mae 'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi i ti i'w etifeddu, yn gorwedd yn y maes, heb wybod pwy a'i lladdodd; 1451.

2 Yna aed dy henuriaid a'th farnwŷr allan, a mesurant hyd y dinasoedd *sydd* o amgylch i'r lladdedig.

3 A bydded i'r ddinas nesaf at y lladdedig, *sef* henuriaid y ddinas honno, gymmeryd anner o'r gwartheg, yr hon ni weithiwyd â hi, *ac* ni thynnodd dan iau.

4 A dyged henuriaid y ddinas honno 'r anner i ddyffryn garw, yr hwn ni lafuriwyd, ac ni hauwyd ynddo; ac yno † torr-fynyglant yr anner yn y dyffryn.

† *torrant ben.*

5 A nesâed yr offeiriaid, meibion Lefi (o herwydd yr ARGLWYDD dy DDUW a a'u hetholodd hwynt, i weini iddo ef, ac i fendigo yn enw'r ARGLWYDD) ac b wrth eu ‡ barn hwynt y terfynir pob ymryson a phob pla.

a Pen. 10. 8. b Pen. 17. 8, 9. ‡ Heb. *genau.*

6 A holl henuriaid y ddinas honno, y rhai *a fyddo* nesaf at y lladdedig, c a olchant eu dwylaw uwch ben yr anner a dorr-fynyglwyd yn y dyffryn.

c Edrych Psal. 19. 12. Mat. 27. 24.

7 A hwy a attebant ac a ddywedant, Ni thywalltodd ein dwylaw ni y gwaed hwn, ac ni's gwelodd ein llygaid.

8 Trugarhâ wrth dy bobl Israel, y rhai
a waredaist, O ARGLWYDD, ac na ddyro
† Heb. waed gwirion † yn erbyn dy bobl Israel.
*ynghanol.* A maddeuir y gwaed iddynt hwy.
9 Felly y tynni ymaith *affaith* y gwaed
gwirion o'th fysg, os ti a wnei 'r uniawn-
der yngolwg yr ARGLWYDD.
10 ¶ Pan elych i ryfel yn erbyn dy elyn-
ion, a rhoddi o'r ARGLWYDD dy DDUW
hwynt yn dy law di, a chaeth-gludo o honot
gaeth-glud o honynt;
11 A gweled o honot yn y gaeth-glud
wraig brydweddol, a'i bod wrth dy fodd,
i'w chymmeryd it' yn wraig:
12 Yna dwg hi i fewn dy dŷ, ac eillied
‡ Heb. hi ei phen, a ‡ thorred ei hewinedd;
*gwnaed, neu, gy-weirïed.* 13 A diosged ddillad ei chaethiwed oddi
am dani, a thriged yn dy dŷ di, ac [d] wyled
d Edrych *am* ei thad a'i mam fis o ddyddiau: ac wedi
Psal. 45. 10. hynny yr ai di atti, ac y byddi wr iddi, a
hithau fydd wraig i ti.
14 Ac oni bydd hi wrth dy fodd; yna
gollwng hi yn ol ei hewyllys ei hun, a chan
werthu na werth hi er arian; na chais elw o
honi, am i ti ei darostwng hi.
15 ¶ Pan fyddo i wr ddwy wragedd, un
yn gu, ac un yn gas; a phlanta o'r gu a'r
gas feibion iddo ef, a bod y mab cyntaf-
anedig o'r *un* gas:
e 2 Chron. 16 Yna bydded, [e] yn y dydd y rhanno
11. 19, 22. efe ei etifeddiaeth rhwng ei feibion y rhai
fyddant iddo, na ddichon efe wneuthur yn
gyntaf-anedig fab y gu o flaen mab y gas, *yr
hwn sydd* gyntaf-anedig;
17 Ond mab y gas yr hwn sydd gyntaf-
f Edrych anedig a gydnebydd efe, [f] gan roddi iddo ef
1 Chron. 5. y ddeuparth o'r hyn oll a gaffer yn eiddo ef:
1. o achos hwn *yw* [g] dechreuad ei nerth ef;
g Gen. 49. iddo *y bydd* braint y cyntaf-anedig.
3. 18 ¶ Ond o bydd i wr fab cyndyn ac anu-
fudd, heb wrando ar lais ei dad, neu ar lais
ei fam; a phan geryddant ef, ni wrendy
arnynt:
19 Yna ei dad a'i fam a ymaflant ynddo,
ac a'i dygant at henuriaid ei ddinas, ac i
borth ei drigfan;
20 A dywedant wrth henuriaid ei ddinas
ef, Ein mab hwn *sydd* gyndyn ac anufudd,
heb wrando ar ein llais; glwth a meddwŷn
*yw efe.*
21 Yna holl ddynion ei ddinas a'i llabydd-
h Pen. 13. iant ef â meini, fel y byddo farw: [h] felly y
5. a 22. 21, tynni ymaith y drwg o'th fysg; a holl Israel
24. a glywant, ac a ofnant.
Jos. 10. 22 ¶ Ac o bydd mewn gwr bechod yn
26. haeddu *barnedigaeth* angau, a'i farwolaethu,
k Gal. 3. a chrogi o honot ef wrth bren;
13. 23 [i] Na thriged ei gelain dros nos wrth
§ Neu, *yr hwn.* y pren, *ond* gan gladdu ti a'i cleddi ef o
Edrych fewn *y* dydd hwnnw: o herwydd [k] melldith
Num. 25. 4. DDUW § *sydd i'r hwn* a grogir: ac na haloga
Jos. 10. 26. dy dir *y mae*'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei
2 Sam. 21. roddi it' yn etifeddiaeth.
6.

## PEN. XXII.

Mawrth 4. P. 1 *Am garedigrwydd brawdol.* 5 *Bod adnabod
y gwrryw a'r fenyw wrth eu dillad.* 6
*Na ddalier mam yr adar gyd â'i chywion.*
8 *Rhaid yw bod i dŷ ganllawiau.* 9 *Goch-
elyd cymmysgedd.* 12 *Rhaid yw bod
rhidens wrth ddillad.* 13 *Cospedigaeth yr
hwn a roddo anair i'w wraig.* 20, 22 *Am
dorr-priodas,* 25 *trais,* 28 *godineb,* 30 *a
llosgach.*

1451.
a Exod. 23. [a] NI chai weled eidion dy frawd neu ei
4. ddafad yn cyfeiliorni, ac ymguddio
oddi wrthynt: gan ddwyn dwg hwynt
drachefn i'th frawd.
2 Ac oni *bydd* dy frawd yn gyfagos attat,
neu oni adwaenost ef; yna dwg hwnnw i
fewn dy dŷ, a bydded gyd â thi, hyd pan
ymofyno dy frawd am dano; yna dyro ef yn
ei ol iddo ef.
3 Ac felly y gwnai i'w asyn ef, ac felly
y gwnai i'w ddillad ef, ac felly y gwnai i
bob collbeth i'th frawd, yr hwn a gyll
oddi wrtho ef, a thithau yn ei gael: ni elli
ymguddio.
4 ¶ [b] Ni chai weled asyn dy frawd neu b Exod. 23.
ei ŷch yn gorwedd ar y ffordd, ac ymguddio 5.
oddi wrthynt; *ond* gan godi cyfod *hwynt*
gyd ag ef.
5 ¶ Na fydded dilledyn gwr am wraig, ac
na wisged gwr ddillad gwraig: o herwydd
ffiaidd gan yr ARGLWYDD dy DDUW bawb
a'r a wnel hyn.
6 ¶ Pan ddamweinio nyth aderyn i'th
olwg ar dy ffordd, mewn un pren, neu ar
y ddaear, â chywion, neu ag wyau *ynddo,*
a'r fam yn eistedd ar y cywion, neu ar yr
wyau; na chymmer y fam gyd â'r cywion.
7 Gan ollwng ti a ollyngi'r fam, a'r cy-
wion a gymmeri i ti; fel y byddo daioni it',
ac yr estynech *dy* ddyddiau.
8 ¶ Pan adeiladech dŷ newydd, yna y
gwnai ganllawiau *o amgylch* i'th nen; fel
na osodych waed ar dy dŷ, pan syrthio neb
oddi arno.
9 ¶ [c] Na haua dy winllan ag amryw *had;* c Lef. 19.
rhag it' halogi † cynnyrch yr had a hauech, 19.
a chnwd y winllan. † Heb.
10 ¶ [d] Nac ardd ag ŷch ac ag asyn yng- *cyflawnder.*
hŷd. d Edrych
11 ¶ [e] Na wisg ddilledyn o amryw ddef- 2 Cor. 6. 14,
nydd, *megis o* wlan a llin ynghŷd. 15, 16.
12 ¶ [f] Plethau a weithi it' ar ‡ bedwar e Lef. 19.
cwrr dy wisg yr ymwisgech â hi. 19.
13 ¶ O chymmer gwr wraig, ac wedi f Num. 15. 38.
myned atti, ei chasâu; Mat. 23. 5.
14 A gosod yn ei herbyn anair, a rhoddi ‡ Heb.
allan enw drwg iddi, a dywedyd, Y wraig *bedair*
hon a gymmerais; a phan cethum atti, ni *adain.*
chefais ynddi forwyndod:
15 Yna cymmered tad y llangces a'i mam,
a dygant *arwyddion* morwyndod y llangces
at henuriaid y ddinas i'r porth.
16 A dyweded tad y llangces wrth yr
henuriaid, Fy merch a roddais i'r gwr hwn
yn wraig, a'i chasâu y mae efe.
17 Ac wele, efe a gododd *iddi* anair, gan
ddywedyd, Ni chefais yn dy ferch forwyn-
dod; ac fel dyma *arwyddion* morwyndod
fy merch. Yna lledant y dilledyn yngŵydd
henuriaid y ddinas.
18 A henuriaid y ddinas honno a gym-
merant y gwr, ac a'i cospant ef.
19 A hwy a'i dirwyant ef *mewn* can sicl o
arian, ac a'u rhoddant hwynt i dad y llangces;
o achos iddo ddwyn enw drwg ar y forwyn
o Israel: a bydd hi yn wraig iddo; *ac* ni ddi-
chon ei gyrru ymaith *yn* ei holl ddyddiau.
20 Ond os gwir fydd y peth, ac na chaf-
wyd *arwyddion* morwyndod yn y llangces:
21 Yna y dygant y llangces at ddrws tŷ
ei thad, a dynion ei dinas a'i llabyddiant hi
â meini, oni byddo farw; am iddi wneuthur
ffolineb yn Israel, gan butteinio yn nhŷ ei
thad: [g] a thi a dynni ymaith y drwg o'th g Pen. 13.
fysg. 5.
22 ¶ [h] O cheffir gwr yn gorwedd gyd â h Lef. 20.
gwraig briodol *â* gwr; byddant feirw ill 10.
dau, *sef* y gwr a orweddodd gyd â'r wraig,

a'r wraig *hefyd*: felly y tynni ymaith ddrwg
*o* Israel.
23 ¶ O bydd llangces *o* forwyn wedi ei
dyweddïo i wr, a chael o wr hi mewn dinas,
a gorwedd gyd â hi;
24 Yna y dygwch hwynt ill dau i borth y
ddinas honno, ac a'u llabyddiwch hwynt
â meini, fel y byddont feirw: y llangces,
oblegid na waeddodd, *a hithau* yn y ddinas;
a'r gwr, o herwydd iddo ddarostwng gwraig
[i] Adn. 21, 22. ei gymmydog: [i] felly ti a dynni ymaith y
drygioni o'th fysg.
25 ¶ Ond os mewn maes y cafodd y gwr
y llangces wedi ei dyweddïo, a'i threisio o'r
gwr, a gorwedd gyd â hi; yna bydded farw
y gwr a orweddodd gyd â hi yn unig.
26 Ond i'r llangces ni chei wneuthur
dim; nid *oes* yn y llangces bechod *yn haeddu*
marwolaeth: o herwydd megis y cyfyd gwr
yn erbyn ei gymmydog, a'i ddieneidio ef,
yr un modd *y mae*'r peth hyn.
27 Oblegid yn y maes y cafodd efe hi:
gwaeddodd y llangces *oedd* wedi ei dywe-
ddïo; ac nid *oedd* achubydd iddi.
[k] Exod. 22. 16. 28 ¶ [k] O chaiff gwr langces o forwyn,
heb ei dyweddïo, ac ymaflyd ynddi, a gor-
wedd gyd â hi, a'u dala hwynt:
29 Yna y rhydd y gwr a orweddodd gyd
â hi, i dad y llangces, ddeg a deugain o
arian; ac iddo y bydd yn wraig, am iddo
ei darostwng hi: ni ddichon efe ei gyrru hi
ymaith *yn* ei holl ddyddiau.
[l] Lef. 18. 8. a 20. 11. 1 Cor. 5. 1. 30 ¶ [l] Na chymmered neb wraig ei dad,
ac na [m] ddinoethed odre ei dad.

[m] Edrych Ruth 3. 9. Ezec. 16. 8.

## PEN. XXIII.

1 *Pwy a all, a phwy ni all ddyfod i'r gyn-
nulleidfa.* 9 *Rhaid yw gochelyd aflendid yn
y llu.* 15 *Am y gwas ffoadur.* 17 *Am
frynti.* 18 *Am aberthau ffiaidd,* 19 *usuri-
aeth,* 21 *addunedau,* 24 *a chamweddau.*

1451. NA ddeued neb wedi ysigo ei eirin, na
dispaidd, i gynnulleidfa'r ARGLWYDD.
2 Na ddeued basterdyn i gynnulleidfa'r
ARGLWYDD; y ddegfed genhedlaeth iddo
hefyd ni chaiff ddyfod i gynnulleidfa'r AR-
GLWYDD.
[a] Neh. 13. 1. 3 Na ddeled [a] Ammoniad na Moabiad i
gynnulleidfa'r ARGLWYDD; y ddegfed gen-
hedlaeth hefyd o honynt na ddeued i gyn-
nulleidfa'r ARGLWYDD byth:
[b] Edrych Pen. 2. 29. 4 [b] Oblegid ni chyfarfuant â chwi â bara
ac â dwfr yn y ffordd, wrth eich dyfod o'r
[c] Num. 22. 5, 6. Aipht; ac [c] o achos cyflogi o honynt i'th
erbyn Balaam fab Beor o Pethor *ym* Meso-
potamia, i'th felldithio di.
5 Etto'r ARGLWYDD dy DDUW ni fyn-
nodd wrando ar Balaam: ond trodd yr AR-
GLWYDD dy DDUW y felldith yn fendith it';
canys hoffodd yr ARGLWYDD dy DDUW dydi.
[d] Ezra 9. 12. 6 [d] Na chais eu heddwch hwynt, na'u
daioni hwynt, dy holl ddyddiau byth.
7 ¶ Na ffieiddia Edomiad; canys dy
frawd yw: na ffieiddia Aiphtiad; o he-
rwydd dïeithr fuost yn ei wlad ef.
8 Deued o honynt i gynnulleidfa'r AR-
GLWYDD y drydedd genhedlaeth o'r meib-
ion a genhedlir iddynt.
9 ¶ Pan el y llu allan yn erbyn dy elynion,
yna ymgadw rhag pob peth drwg.
[e] Lef. 15. 16. 10 ¶ [e] O bydd un o honot heb fod yn
lan, o herwydd damwain nos; eled allan o'r
gwersyll; na ddeued o fewn y gwersyll.
† Heb. *A phan wynebo yr hwyr.* 11 † Ac ym min yr hwyr ymolched mewn
dwfr: yna wedi machludo'r haul, deued i
fewn y gwersyll.

12 ¶ A bydded lle i ti o'r tu allan i'r
gwersyll; ac yno yr ai di allan.
13 A bydded gennyt raw-ffon ym mysg
dy arfau: a bydded pan eisteddych allan,
gloddio o honot â hi, a thro a chuddia'r hyn
a ddaeth oddi wrthyt.
14 O herwydd bod yr ARGLWYDD dy
DDUW yn rhodio ym mhlith dy wersyllau,
i'th waredu, ac i roddi dy elynion o'th
flaen di: am hynny bydded dy wersyllau'n
sanctaidd; fel na welo ynot ti ‡ ddim brynti, ‡ Heb. *noethni dim.*
a throi oddi wrthyt.
15 ¶ [f] Na ddyro at ei feistr was a ddi-
angodd attat oddi wrth ei feistr. [f] 1 Sam. 30. 15.
16 Gyd â thi y trig yn dy fysg, yn y fan
a ddewiso, yn un o'th byrth di, lle byddo
da ganddo; *ac* na chystuddia ef.
17 ¶ Na fydded § puttain [g] o ferched § *sodomica.*
Israel, ac na fydded ‖ putteiniwr o feibion [g] Edrych Diar. 2. 16.
Israel.
18 Na ddwg wobr puttain, na gwerth ci, ‖ *sodomiad.*
*i dŷ*'r ARGLWYDD dy DDUW, mewn un
adduned: canys *y maent* ill dau yn ffiaidd
gan yr ARGLWYDD dy DDUW.
19 ¶ [h] Na chymmer † occraeth gan dy [h] Exod. 22. 25.
frawd; occraeth arian, occraeth bwyd, oc- Lef. 25. 36.
craeth dim y cymmerir occraeth am dano. Neh. 5. 2.
20 [i] Gan estron y cymmeri occraeth; Psal. 15. 5.
ond na chymmer occraeth gan dy frawd: Luc 6. 34, 35.
fel y bendithio'r ARGLWYDD dy DDUW † *usuriaeth.*
di ym mhob peth y rhoddych dy law arno,
yn y tir yr ydwyt yn myned iddo i'w [i] Edrych Pen. 15. 3.
feddiannu. Lef. 19. 34.
21 ¶ [k] Pan addunedech adduned i'r AR- [k] Num. 30. 2.
GLWYDD dy DDUW, nac oeda ei thalu:
canys yr ARGLWYDD dy DDUW gan Preg. 5. 4.
ofyn a'i gofyn gennyt; a byddai yn bechod
ynot.
22 Ond os peidi ag addunedu, ni bydd
pechod ynot.
23 Cadw a gwna yr hyn a ddaeth allan
o'th wefusau; megis yr addunedaist i'r AR-
GLWYDD dy DDUW offrwm gwirfodd, yr
hwn a draethaist â'th enau.
24 ¶ Pan ddelych i winllan dy gymmy-
dog, yna bwytta o rawnwin dy wala, wrth
dy feddwl; ond na ddod yn dy lestr *yr un.*
25 Pan ddelych i ŷd dy gymmydog, [l] yna [l] Mat. 12. 1.
y cai dynnu'r tywysenau â'th law; ond Mar. 2. 23.
ni chai osod crymman yn ŷd dy gym- Luc 6. 1.
mydog.

## PEN. XXIV.

1 *Am ysgar.* 5 *Nad rhaid i'r gwr newydd* Mawrth 5. B.
*brïodi fyned i ryfel.* 6, 10 *Am wystlon.* 7
*Am ladron dynion.* 8 *Am y gwahan-glwyf;*
14 *talu cyflog,* 16 *barn,* 19 *ac elusen.*

PAN [a] gymmero gwr wraig, a'i phrïodi; 1451.
yna oni chaiff hi ffafr yn ei olwg ef, o [a] Mat. 5. 31.
achos iddo gael rhyw † aflendid ynddi; ys- a 19. 7.
grifened iddi lythyr ‡ ysgar, a rhodded yn Mar. 10. 4.
ei llaw hi, a gollynged hi ymaith o'i dŷ. † Heb. *noethni.*
2 Pan elo hi allan o'i dŷ ef, a myned ‡ Heb. *torri ymaith.*
ymaith, a bod yn eiddo gwr arall:
3 Os ei gwr diwaethaf a'i casâ hi, ac a
'sgrifena lythyr ysgar iddi, ac a'i rhydd yn
ei llaw hi, ac a'i gollwng hi o'i dŷ; neu os
bydd marw y gwr diwaethaf a'i cymmerodd
hi yn wraig iddo:
4 [b] Ni ddichon ei phrïod cyntaf, yr hwn [b] Jer. 3. 1.
a'i gollyngodd hi ymaith, ei chymmeryd
hi drachefn i fod yn wraig iddo, wedi iddi
ymhalogi: canys ffiaidd-dra *yw* hyn o flaen
yr ARGLWYDD; ac na wna i'r wlad bechu,
yr hon a rydd yr ARGLWYDD dy DDUW i ti
yn etifeddiaeth.

e Pen. 20. 7. 5 ¶ e Pan gymmero gwr wraig newydd,
nac eled i ryfel, ac † na rodder gofal dim
† Heb. *nac aed dim arno.* arno: caiff fod gartref yn rhydd un flwydd-
yn, a llawenhâu ei wraig a gymmerodd.
6 ¶ Na chymmered *neb* faen isaf nac
uchaf i felin ar wystl: canys y mae yn
cymmeryd bywyd *dyn* yngwystl.
d Exod. 21. 16. 7 ¶ d Pan gaffer gwr yn lladratta un o'i
frodyr o feibion Israel, ac yn ymelwa arno,
neu yn ei werthu; yna llodder y lleidr hwn-
nw, a thynn di ymaith y drwg o'th fysg.
e Lef. 13, a 14. 8 ¶ Gwylia ym e mhla y gwahan-glwyf,
ar ddyfal-gadw, a gwneuthur yn ol yr hyn
oll a ddysgo'r offeiriaid y Lefiaid i chwi:
edrychwch am wneuthur megis y gorchymy-
nais wrthynt hwy.
1490. 9 Cofia 'r hyn a wnaeth yr ARGLWYDD
f Num. 12. 10. dy DDUW i f Miriam ar y ffordd, wedi eich
dyfod allan o'r Aipht.
10 ¶ Pan fenthyccich i'th gymmydog
fenthyg dim, na ddos i'w dŷ ef i gymmeryd
ei wystl ef.
11 Allan y sefi; a dyged y gwr y benthyc-
ciaist iddo y gwystl allan attat ti.
12 Ac os gwr tlawd *fydd* efe, na chwsg
â'i wystl *gyd â thi.*
g Exod. 22. 26. 13 g Gan ddadroddi dyro ei wystl iddo
pan fachludo'r haul, fel y gorweddo yn ei
h Job 31. 20. wisg, ac h y'th fendithio di: a i bydd *hyn* i
i Edrych Psal. 106. 31. ti yn gyfiawnder o flaen yr ARGLWYDD dy
DDUW.
14 ¶ Na orthrymma was cyflog tlawd
ac anghenus, o'th frodyr, neu o'th ddïeithr-
ddyn *a fyddo* yn dy dir o fewn dy byrth di.
k Lef. 19. 13. 15 Yn ei ddydd k y rhoddi *iddo* ei gyflog;
Jer. 22. 13. ac na fachluded yr haul arno: canys tlawd
Tob. 4. 14. yw, ac ‡ â hyn y mae yn cynnal ei einioes:
Iago 5. 4. fel na lefo ar yr ARGLWYDD yn dy erbyn,
‡ Heb. a bod pechod ynot.
*atto y dyrchafa ei enaid.* 16 l Na rodder i farwolaeth dadau dros
blant, ac na rodder plant i farw dros dadau:
l 2 Bren. 14. 6. pob un a roddir i farwolaeth am ei bechod
ei hun.
2 Chron. 25. 4. 17 ¶ m Na wyra farn y dïeithr *na'r* ym-
Jer. 31. 29, 30. ddifad; ac n na chymmer ar wystloraeth
Ezec. 18. 10. wisg y weddw.
m Exod. 22. 21, 22. 18 Ond o meddwl mai caeth-was fuost yn
yr Aipht, a'th waredu o'r ARGLWYDD dy
Diar. 22. 22. DDUW oddi yno: am hynny 'r wyf fi'n
Esay 1. 23. gorchymyn it' wneuthur y peth hyn.
Jer. 5. 28. 19 ¶ p Pan fedech dy gynhauaf yn dy
a 22. 3. faes, ac anghofio ysgub yn y maes, na
Ezec. 22. 29. ddychwel i'w chymmeryd: bydded i'r
Zec. 7. 10. dïeithr, i'r ymddifad, ac i'r weddw; fel y
n Exod. 22. 26. bendithio'r ARGLWYDD dy DDUW di yn
holl waith dy ddwylaw.
o Adn. 22. 20 Pan esgydwech dy olewŷdden, na loffa
p Lef. 19. 9. a 23. 22. ar dy ol: bydded i'r dïeithr, i'r ymddifad,
ac i'r weddw.
21 Pan gesglych rawnwin dy winllan, na
loffa ar dy ol: bydded i'r dïeithr, i'r ym-
ddifad, ac i'r weddw.
q Adn. 18. 22 q Meddwl hefyd mai caeth-was fuost
yn nhir yr Aipht: am hynny 'r ydwyf fi'n
gorchymyn it' wneuthur y peth hyn.

## PEN. XXV.

Mawrth 5. P. 1 *Na rodder ychwaneg i ddeugain gwïalen-
nod.* 4 *Na chauer safn yr ŷch.* 5 *Am godi
had i frawd.* 11 *Am y wraig ddigywilydd.*
13 *Am bwysau anghyfiawn.* 17 *Rhaid yw
dileu coffadwriaeth Amalec.*

1451. PAN fyddo ymrafael rhwng dynion, a
dyfod i farn i'w barnu; yna cyfiawn-
hânt y cyfiawn, a chondemniant y beius.
2 Ac o bydd y mab drygionus i'w guro,
pared y barnwr iddo orwedd, a phared ei
guro ef ger ei fron, yn ol ei ddrygioniaeth,
dan rifedi.
3 a Deugain gwïalennod a rydd iddo, *ac* a 2 Cor. 11. 24.
na 'chwaneged: rhag *os* 'chwanega, a'i guro
ef â llawer gwïalennod uwch law hyn, a
dirmygu dy frawd yn dy olwg.
4 ¶ b Na chau safn ŷch tra fyddo 'n dyrnu. b Diar. 12. 10.
5 ¶ c Os brodyr a drigant ynghŷd, a 1 Cor. 9. 9.
marw un o honynt, ac heb blentyn iddo; 1 Tim. 5. 18.
na phrïoded gwraig y marw wr dïeithr c Mat. 22. 24.
oddi allan: aed ei chyfathrachwr atti, a
chymmered hi yn wraig iddo, a gwnaed iddi Mar. 12. 19. Luc 20. 28.
ran cyfathrachwr.
6 A bydded i'r cyntaf-anedig a ymddygo
hi sefyll ar enw ei frawd *a fu* farw; fel na
ddileer ei enw ef allan o Israel.
7 Ac oni bydd boddlon y gwr i gym-
meryd ei gyfathrach-wraig; yna aed ei
gyfathrach-wraig i fynu i'r porth at yr
henuriaid, a dyweded, d Gwrthododd fy d Ruth 4. 7.
nghyfathrachwr godi i'w frawd enw yn
Israel: ni fyn efe wneuthur rhan cyfathrach-
wr â mi.
8 Yna galwed henuriaid ei ddinas am
dano ef, ac ymddiddanant ag ef: *o* saif efe,
a dywedyd, Nid wyf fi foddlon i'w chym-
meryd hi;
9 Yna nesâed ei gyfathrach-wraig atto ef
yngŵydd yr henuriaid, a dattoded ei esgid
ef oddi am ei droed, a phoered yn ei wyneb
ef, ac attebed, a dyweded, Felly y gwnair
i'r gwr nid adeilado dŷ ei frawd.
10 A gelwir ei enw ef yn Israel, Tŷ 'r
hwn y dattodwyd ei esgid.
11 ¶ Os ymryson dynion ynghŷd, *sef*
gwr a'i frawd, a nesâu gwraig y naill i
achub ei gwr o law ei darawydd, ac estyn ei
llaw ac ymaflyd yn ei ddirgeloedd ef;
12 Torr ymaith ei llaw hi: nac arbeded
dy lygad *hi.*
13 ¶ e Na fydded gennyt yn dy god † am- e Lef. 19. 35, 36.
ryw bwys, mawr a bychan.
14 Na fydded gennyt yn dy dŷ ‡ amryw Ezec. 45. 10.
fesur, mawr a bychan. † Heb. *garreg a charreg.*
15 Bydded gennyt garreg union a chyf-
iawn; bydded gennyt ephah union a chyf-
iawn: fel yr estyner dy ddyddiau ar y Exod. 16. 36.
ddaear yr hon y mae'r ARGLWYDD dy ‡ Heb.
DDUW yn ei rhoddi it'. *ephah ac ephah.*
16 Canys f ffiaidd gan yr ARGLWYDD f Diar. 11. 1.
dy DDUW bob un a wnelo hyn, *sef* pawb
a'r a wnel anghyfiawnder.
17 ¶ g Cofia 'r hyn a wnaeth Amalec i ti g Exod. 17. 8.
ar y ffordd, pan ddaethoch allan o'r Aipht:
18 Yr hwn a'th gyfarfu ar y ffordd, ac a
laddodd y rhai olaf o honot, yr holl wein-
iaid o'th ol di, a thi yn lluddedig ac yn
ddiffygiol; ac nid ofnodd efe DDUW.
19 Am hynny bydded, h pan roddo 'r AR- h 1 Sam. 15. 3.
GLWYDD dy DDUW i ti lonyddwch oddi
wrth dy holl elynion oddi amgylch, yn y tir
y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi
it' yn etifeddiaeth i'w feddiannu, dynnu o
honot ymaith goffadwriaeth Amalec oddi tan
y nefoedd: nac anghofia *hyn.*

## PEN. XXVI.

1 *Cyffes yr hwn a offrymmo'r cawell blaen-* Mawrth 6. B.
*ffrwyth.* 12 *Gweddi 'r hwn a roddo ei
ddegymmau y drydedd flwyddyn.* 16 *Y
cyfammod rhwng Duw a'r bobl.*

A Phan ddelych i'r tir y mae'r AR- 1451.
GLWYDD dy DDUW yn ei roddi it' yn
etifeddiaeth, a'i feddiannu, a phreswylio
ynddo;

a Exod. 23. 19. a 34. 26. Pen. 16. 10. 2 [a] Yna cymmer o bob blaen-ffrwyth y ddaear, yr hwn a ddygi o'th dir y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi it', a gosod mewn cawell, a dos i'r lle a ddewiso'r ARGLWYDD dy DDUW i drigo o'i enw ef ynddo:

3 A dos at yr offeiriad a fydd yn y dyddiau hynny, a dywed wrtho, Yr ydwyf fi yn cyfaddef heddyw i'r ARGLWYDD dy DDUW, fy nyfod i'r tir a dyngodd yr ARGLWYDD wrth ein tadau ar ei roddi i ni.

4 A chymmered yr offeiriad y cawell o'th law di, a gosoded ef o flaen allor yr ARGLWYDD dy DDUW:

b Hos. 12. 12. c Gen. 46. 1. 5 A llefara dithau, a dywed ger bron yr ARGLWYDD dy DDUW, [b] Syriad ar ddarfod am dano *oedd* fy nhad; ac [c] efe a ddisgynodd i'r Aipht, ac a ymdeithiodd yno ag ychydig bobl, ac a aeth yno yn genedl fawr, gref, ac aml.

d Exod. 1. 11. 6 A'r [d] Aiphtiaid a'n drygodd ni, a chystuddiasant ni, a rhoddasant arnom gaethiwed caled.

e Exod. 2. 23. 7 A [e] phan waeddasom ar ARGLWYDD DDUW ein tadau, clybu yr ARGLWYDD ein llais ni, a gwelodd ein cystudd, a'n llafur, a'n gorthrymder.

f Exod. 12. 37. 8 [f] A'r ARGLWYDD a'n dug ni allan o'r Aipht â llaw gadarn, ac â braich estynedig, ac ag ofn mawr, ac ag arwyddion, ac a rhyfeddodau.

9 Ac efe a'n dug ni i'r lle hwn, ac a roes i ni y tir hwn; *sef* tir yn llifeirio o laeth a mel.

10 Ac yn awr, wele, mi a ddygais flaenffrwyth y tir a roddaist i mi, O ARGLWYDD: a gosod ef ger bron yr ARGLWYDD dy DDUW, ac addola ger bron yr ARGLWYDD dy DDUW.

11 Ymlawenycha hefyd ym mhob daioni a roddodd yr ARGLWYDD dy DDUW i ti, ac i'th deulu, tydi, a'r Lefiad, a'r dïeithr *a fyddo* yn dy fysg.

g Pen. 14. 28. 12 ¶ Pan ddarffo it' ddegymmu holl ddegwm dy gnwd, yn y drydedd flwyddyn, *sef* [g] blwyddyn y degwm; yna y rhoddi i'r Lefiad, i'r dïeithr, i'r ymddifad, ac i'r weddw; fel y bwyttaont yn dy byrth di, ac y digoner hwynt.

13 A dywed ger bron yr ARGLWYDD dy DDUW, Dygais *y peth* cyssegredig allan o'm tŷ, ac a'i rhoddais ef i'r Lefiad, ac i'r dïeithr, i'r ymddifad, ac i'r weddw, yn ol dy holl orchymynion a orchymynaist i mi: ni throseddais *ddim* o'th orchymynion, ac ni's anghofiais.

14 Ni fwytteais o hono yn fy ngalar, ac ni ddygais ymaith o hono i aflendid, ac ni roddais o hono dros y marw: gwrandewais ar lais yr ARGLWYDD fy NUW; gwneuthum yn ol yr hyn oll a orchymynaist i mi.

h Esay 63. 15. Zec. 2. 13. 15 [h] Edrych o drigle dy sancteiddrwydd, *sef* o'r nefoedd, a bendithia dy bobl Israel, a'r tir a roddaist i ni, megis y tyngaist wrth ein tadau; *sef* tir yn llifeirio o laeth a mel.

16 ¶ Y dydd hwn y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn gorchymyn it' wneuthur y deddfau hyn a'r barnedigaethau: cadw dithau a gwna hwynt â'th holl galon, ac â'th holl enaid.

17 Cymmeraist yr ARGLWYDD heddyw i fod yn DDUW i ti, ac i rodio yn ei ffyrdd ef, ac i gadw ei ddeddfau, a'i orchymynion, a'i farnedigaethau, ac i wrando ar ei lais ef.

18 [i] Cymmerodd yr ARGLWYDD dithau heddyw i fod yn bobl [illegible] iddo ef, megis y llefarodd wrthyt, [illegible] gadw o honot ei holl orchymynion; i Exod. 19. 5. Pen. 7. 6. a 14. 2.

19 Ac [illegible] [k] yn uchel goruwch yr holl [illegible] a wnaeth efe, mewn clod, [illegible], ac mewn gogoniant; ac i fod [illegible] yn bobl sanctaidd i'r ARGLWYDD dy DUW, megis y llefarodd efe. k Pen. 4. 7. 8. a 28. 1.

## PEN. XXVII.

1 *Gorchymmyn y bobl i'sgrifenu'r gyfraith ar gerrig;* 5 *ac i wneuthur allor o gerrig cyfain.* 11 *Rhannu'r llwythau ar fynydd Garizim ac Ebal.* 14 *Cyhoeddi'r melldithion ar fynydd Ebal.* Mawrth 6. P.

YNA y gorchymynodd Moses, gyd â henuriaid Israel, i'r bobl, gan ddywedyd, Cedwch yr holl orchymynion yr ydwyf fi yn eu gorchymyn i chwi heddyw. 1451.

2 A bydded, yn y dydd [a] yr elych dros yr Iorddonen i'r tir y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi it', [b] osod o honot i ti gerrig mawrion, a chalcha hwynt â chalch. a Jos. 4. 1. b Jos. 8. 32.

3 Ac ysgrifena arnynt holl eiriau'r gyfraith hon, pan elych drosodd, i fyned i'r tir y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi it', *sef* tir yn llifeirio o laeth a mel; megis ag y llefarodd ARGLWYDD DDUW dy dadau wrthyt.

4 A phan eloch dros yr Iorddonen, gosodwch y cerrig hyn, yr ydwyf fi yn eu gorchymyn i chwi heddyw, ym mynydd Ebal, a chalcha hwynt â chalch.

5 Ac adeilada yno allor i'r ARGLWYDD dy DDUW, *sef* allor gerrig: [c] na chyfod arnynt *arf* haiarn. c Exod. 20. 25. Jos. 8. 31.

6 *A* cherrig cyfan yr adeiledi allor yr ARGLWYDD dy DDUW; ac offrymma arni boeth-offrymmau i'r ARGLWYDD dy DDUW.

7 Offrymma hefyd hedd-aberthau, a bwytta yno, a llawenycha ger bron yr ARGLWYDD dy DDUW.

8 Ac ysgrifena ar y cerrig holl eiriau'r gyfraith hon, yn eglur iawn.

9 ¶ A llefarodd Moses a'r offeiriaid y Lefiaid wrth holl Israel, gan ddywedyd, Gwrando a chlyw, O Israel: Y dydd hwn y'th wnaethpwyd yn bobl i'r ARGLWYDD dy DDUW.

10 Gwrando gan hynny ar lais yr ARGLWYDD dy DDUW, a gwna ei orchymynion ef a'i ddeddfau, y rhai'r wyf fi yn eu gorchymyn i ti heddyw.

11 ¶ A gorchymynodd Moses i'r bobl y dydd hwnnw, gan ddywedyd,

12 Y rhai hyn a safant i fendithio'r bobl ar fynydd Garizim, wedi eich myned dros yr Iorddonen: Simeon, a Lefi, a Judah, ac Issachar, a Joseph, a Benjamin. d Pen. 11. 29. Jos. 8. 33.

13 [d] A'r rhai hyn a safant † i felldithio ar fynydd Ebal: Reuben, Gad, ac Aser, a Zabulon, Dan, a Naphtali. † Heb. *yn felldith.*

14 ¶ [e] A'r Lefiaid a lefarant, ac a ddywedant wrth bob gwr *o* Israel *â* llef uchel, e Dan. 9. 11.

15 [f] Melldigedig *yw*'r gwr a wnel ddelw gerfiedig neu doddedig, *sef* ffieidd-dra gan yr ARGLWYDD, gwaith dwylaw crefftwr, ac a'i gosodo mewn *lle* dirgel. A'r holl bobl a attebant, ac a ddywedant, [g] Amen. f Exod. 20. 4, 23. a 34. 17. Lef. 19. 4. a 26. 1. Pen. 4. 16, 23. a 5. 8. g 1 Cor. 14. 16. Edrych Jer. 11. 5.

16 [h] Melldigedig *yw*'r hwn a ddirmygo ei dad neu ei fam. A dyweded yr holl bobl, Amen. h Exod. 20. 12. a 21. 17. Lef. 19. 3.

17 [i] Melldigedig *yw*'r hwn a symmudo derfyn ei gymmydog. A dyweded yr holl bobl, Amen.
i Pen. 19. 14. Diar. 22. 28.

18 [k] Melldigedig *yw*'r hwn a baro i'r dall gyfeiliorni allan o'r ffordd. A dyweded yr holl bobl, Amen.
k Lef. 19. 14.

19 [l] Melldigedig *yw*'r hwn a wyro farn y dïeithr, yr ymddifad, a'r weddw. A dyweded yr holl bobl, Amen.
l Exod. 22. 21, 22. Pen. 10. 18.

20 [m] Melldigedig *yw*'r hwn a orweddo gyd â gwraig ei dad; o herwydd datguddiodd odre ei dad. A dyweded yr holl bobl, Amen.
m Lef. 18. 8. Pen. 22. 30.

21 [n] Melldigedig *yw*'r hwn a orweddo gyd ag un anifail. A dyweded yr holl bobl, Amen.
n Lef. 18. 23.

22 [o] Melldigedig *yw*'r hwn a orweddo gyd â'i chwaer, merch ei dad, neu ferch ei fam ef. A dyweded yr holl bobl, Amen.
o Lef. 18. 9.

23 [p] Melldigedig *yw*'r hwn a orweddo gyd â'i † chwegr. A dyweded yr holl bobl, Amen.
p Lef. 18. 17. a 20. 14. † *mam ynghyfraith.*

24 [q] Melldigedig *yw*'r hwn a darawo ei gymmydog yn ddirgel. A dyweded yr holl bobl, Amen.
q Exod. 20. 13. a 21. 12, 14. Lef. 24. 17. Num. 35. 31. Pen. 19. 11.

25 [r] Melldigedig *yw*'r hwn a gymmero wobr, er dïeneidio gwaed gwirion. A dyweded yr holl bobl, Amen.
r Exod. 23. 8. Pen. 10. 17. a 16. 19. Ezec. 22. 12.

26 [s] Melldigedig *yw*'r hwn ni pharhao yngeiriau'r gyfraith hon, gan eu gwneuthur hwynt. A dyweded yr holl bobl, Amen.
s Jer. 11. 3. Gal. 3. 10.

## PEN. XXVIII.

Mawrth 7. B.

*1 Bendithion am ufudd-dod. 15 Melldithion am anufudd-dod.*

1451.

AC [a] os gan wrando y gwrandewi ar lais yr ARGLWYDD dy DDUW, i gadw *ac* i wneuthur ei holl orchymynion ef, y rhai'r ydwyf fi yn eu gorchymyn i ti heddyw; yna'r ARGLWYDD dy DDUW [b] a'th esyd yn uwch nâ holl genhedloedd y ddaear.
a Lef. 26. 3. b Pen. 26. 19.

2 A'r holl fendithion hyn a ddaw arnat, ac a'th oddiweddant, os gwrandewi ar lais yr ARGLWYDD dy DDUW.

3 Bendigedig *fyddi* di yn y ddinas, a bendigedig yn y maes.

4 Bendigedig *fydd* [c] ffrwyth dy fru, a ffrwyth dy dir, a ffrwyth dy anifail di, cynnydd dy wartheg, a dïadellau dy ddefaid.
c Gen. 49. 25. Psal. 127. 3.

5 Bendigedig *fydd* dy gawell a'th † does di.
† Neu, *gatrau tylino.*

6 [d] Bendigedig *fyddi* di yn dy ddyfodiad i mewn, a bendigedig yn dy fynediad allan.
d Psal. 121. 8.

7 Rhydd yr ARGLWYDD dy elynion a ymgodant i'th erbyn [e] yn lladdedig o'th flaen di: trwy un ffordd y deuant i'th erbyn, a thrwy saith o ffyrdd y ffoant o'th flaen.
e Adn. 25.

8 Yr ARGLWYDD a orchymyn fendith arnat ti, yn dy ‡ drysordai, ac yn yr hyn oll y dodech dy law arno; ac a'th fendithia yn y tir y mae'r ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi i ti.
‡ *ysguboriau.*

9 [f] Yr ARGLWYDD a'th gyfyd di yn bobl sanctaidd iddo ei hun, megis y tyngodd wrthyt, os cedwi orchymynion yr ARGLWYDD dy DDUW, a rhodio yn ei ffyrdd ef.
f Exod. 19. 5, 6. Pen. 7. 6.

10 A holl bobloedd y ddaear a welant fod yn dy alw di ar enw yr ARGLWYDD, ac a ofnant rhagot.

11 [g] A'r ARGLWYDD a'th lwydda di § mewn daioni, yn ffrwyth dy fru, ac yn ffrwyth dy anifeiliaid, ac yn ffrwyth dy ddaear, yn y tir a dyngodd yr ARGLWYDD i'th dadau ar ei roddi i ti.
g Pen. 30. 9, &c. § Neu, *o dda.*

12 Yr ARGLWYDD a egyr ei drysor daionus i ti, *sef* y nefoedd, i roddi gwlaw *i'th* dir di yn ei amser, ac i fendigo holl waith dy law: [h] a thi a roddi echwyn i genhedloedd lawer, ac ni cheisi echwyn.
h Pen. 15. 6.

13 A'r ARGLWYDD a'th wna di [i] yn ben, ac nid yn gynffon; hefyd ti a fyddi yn uchaf yn unig, ac nid yn isaf: os gwrandewi ar orchymynion yr ARGLWYDD dy DDUW, y rhai'r ydwyf yn eu gorchymyn it' heddyw, *i'w* cadw, ac *i'w* gwneuthur;
i Esay 9. 14, 15.

14 Ac heb gilio o honot oddi wrth yr holl eiriau yr wyf fi yn eu gorchymyn i chwi heddyw, i'r tu dehau neu i'r tu aswy, gan fyned ar ol duwiau dïeithr, i'w gwasanaethu hwynt.

15 ¶ A bydd, [k] oni wrandewi ar lais yr ARGLWYDD dy DDUW, gan gadw *a* gwneuthur ei holl orchymynion ef a'i ddeddfau, y rhai'r ydwyf yn eu gorchymyn i ti heddyw; y daw arnat yr holl felldithion hyn, ac y'th oddiweddant.
k Lef. 26. 14. Galar. 2. 17. Dan. 9. 11, 13. Mal. 2. 2. Baru. 1. 20.

16 Melldigedig *fyddi* di yn y ddinas, a melldigedig yn y maes.

17 Melldigedig *fydd* dy gawell a'th does di.

18 Melldigedig *fydd* ffrwyth dy fru, a ffrwyth dy dir, cynnydd dy wartheg, a dïadellau dy ddefaid.

19 Melldigedig *fyddi* di yn dy ddyfodiad i mewn, a melldigedig yn dy fynediad allan.

20 Yr ARGLWYDD a ddenfyn arnat ti felldith, trallod, a cherydd, yn yr hyn oll y dodech dy law arno, ‖ *ac yn* yr hyn a wnelych; nes dy ddinystrio, a'th ddifetha di yn gyflym; am ddrygioni dy weithredoedd *yn* y rhai y'm gwrthodaist i.
‖ Neu, *i'w wneuthur.*

21 Yr ARGLWYDD a wna i haint lynu wrthyt, nes iddo dy ddifa oddi ar y tir yr ydwyt ti yn myned iddo i'w feddiannu.

22 [l] Yr ARGLWYDD a'th dery â darfodedigaeth, ac â chryd poeth, ac â llosgfa, ac â gwres, ac â † chleddyf, ac â [m] diflaniad, ac â mallder; a hwy a'th ddilynant nes dy ddifetha.
l Lef. 26. 16. † Neu, *sychder.* m Amos 4. 9.

23 [n] Dy nefoedd hefyd y rhai *sydd* uwch dy ben a fyddant yn bres, a'r ddaear yr hon *sydd* oddi tanat yn haiarn.
n Lef. 26. 19.

24 Yr ARGLWYDD a rydd *yn lle* gwlaw dy ddaear, lwch a lludw: o'r nefoedd y disgyn arnat, hyd oni'th ddinystrier.

25 [o] Yr ARGLWYDD a wna it' syrthio o flaen dy elynion: trwy un ffordd yr ai di yn eu herbyn hwynt, a thrwy saith o ffyrdd y ffoi o'u blaen hwynt; a thi [p] a fyddi ‡ ar wasgar dros holl deyrnasoedd y ddaear.
o Adn. 7. Pen. 32. 30. Esay 30. 17. p Jer. 15. 4. a 24. 9. Ezec. 23. 46. ‡ Heb. *yn wasgarfa.*

26 [q] A'th gelain a fydd bwyd i holl ehediaid y nefoedd, ac i anifeiliaid y ddaear; ac ni *bydd* a'u § tarfo.
q Psal. 79. 2. Jer. 7. 33. a 16. 4. a 34. 20. § *gyrro ymaith.*

27 Yr ARGLWYDD a'th dery di â [r] chornwyd yr Aipht, ac â [s] chlwyf y marchogion, ac â chrach, ac ag ysfa; o'r rhai ni ellir dy iachâu.
r Exod. 9. 9. a 15. 26. s 1 Sam. 5. 6. Psal. 78. 66.

28 Yr ARGLWYDD a'th dery di ag ynfydrwydd, ac â dallineb, ac â syndod calon.

29 Byddi *hefyd* [t] yn ymbalfalu ganol dydd fel yr ymbalfalai'r dall yn y tywyllwch; ac ni lwyddi yn dy ffyrdd: a diau y
t Job 5. 14. Esay 59. 10.

byddi orthrymmedig ac anrheithiedig byth,
ac ni *bydd* a'*th* waredo.
30 [u] Ti a ymgredi â gwraig, a gŵr arall
a gyd-orwedd â hi: [x] ti a adeiledi dŷ, ac
ni thrigi ynddo: [y] ti a blenni winllan, ac
ni † chesgli ei ffrwyth.
31 Dy ŷch a leddir yn dy olwg, ac ni
fwyttâi o hono: dy asyn a ddygir trwy drais
o flaen dy wyneb, ac ni ddaw adref attat:
dy ddefaid a roddir i'th elynion, ac ni *bydd*
i ti achubydd.
32 Dy feibion a'th ferched a roddir i
bobl eraill, a'th lygaid yn gweled, ac yn
pallu am danynt ar hŷd y dydd; ac ni *bydd*
gallu ar dy law.
33 Ffrwyth dy dir a'th holl lafur a fwytty
pobl nid adnabuost; a byddi yn unig or-
thrymmedig a drylliedig bob amser:
34 A byddi wallgofus, [z] gan weledigaeth
dy lygaid yr hon a welych.
35 Yr ARGLWYDD a'th dery di â chorn-
wyd drygionus, yn y gliniau, ac yn yr esgeir-
iau, yr hwn ni ellir ei iachâu, o wadn dy
droed hyd dy goryn.
36 Yr ARGLWYDD a'th ddwg di ([a] a'th
frenhin a osodych arnat) at genedl nid ad-
nabuost ti na'th dadau di; a gwasanaethi
[b] yno dduwiau dieithr, pren a maen.
37 A byddi [c] yn syndod, yn ddiareb, ac
yn watworgerdd, ym mhlith yr holl bobl-
oedd y rhai yr arwain yr ARGLWYDD di
attynt.
38 [d] Had lawer a ddygi allan i'r maes, ac
ychydig a gesgli: o herwydd y locust a'i hysa.
39 Gwinllannoedd a blenni, ac a goleddi;
ond gwin nid yfi, ac ni chesgli *y grawnwin*:
canys pryfed a'u bwytty.
40 Olewŷdd a fydd i ti trwy dy holl der-
fynau, ac ag olew ni 'th irir: o herwydd
dy olewŷdden a ddyhidla.
41 Meibion a merched a genhedli, ac
ni byddant i ti: o herwydd hwy a ant i
gaethiwed.
42 Dy holl brennau a ffrwythau dy dir a
‡ ddifa'r locust.
43 Y dieithr *a fyddo* yn dy fysg a ddring
arnat yn uchel uchel; a thi a ddisgyni yn
isel isel.
44 Efe a fenthyccia i ti, a thi ni fenthycci
iddo ef: [e] efe a fydd yn ben, a thi a fyddi'n
gynffon.
45 A'r holl felldithion hyn a ddaw arnat,
ac a'th erlidiant, ac a'th oddiweddant, hyd
oni 'th ddinystrier; am na wrandewaist ar
lais yr ARGLWYDD dy DDUW, i gadw ei
orchymynion a'i ddeddfau ef, y rhai a
orchymynodd efe i ti.
46 A byddant yn arwydd ac yn rhyfeddod
arnat ti, ac ar dy had hyd byth.
47 Oblegid na wasanaethaist yr AR-
GLWYDD dy DDUW mewn llawenydd, ac
mewn hyfrydwch calon, [f] am amldra pob
dim:
48 Am hynny y gwasanaethi di dy elyn-
ion, y rhai a ddenfyn yr ARGLWYDD yn
dy erbyn, mewn newyn, ac mewn syched,
ac mewn noethni, ac mewn eisiau pob
dim; ac efe [g] a ddyry iau haiarn ar dy wddf,
hyd oni ddinystrio efe dydi.
49 [h] Yr ARGLWYDD a ddwg i'th erbyn
genedl o bell, *sef* o eithaf y ddaear, [i] *mor
gyflym* ag yr eheda'r eryr, cenedl yr hon ni
§ ddealli ei hiaith;
50 Cenedl ‖ wyneb-galed, [k] yr hon ni
dderbyn wyneb yr henafgwr, ac ni bydd
raslon i'r llangc.

[u] Jer. 8. 10. [x] Job 31. 8. Jer. 12. 13. Amos 5. 11. Seph. 1. 13. [y] Pen. 20. 6. † Heb. *chwffredini hi*; fel Pen. 20. 6. [z] Adn. 67. [a] 2 Bren. 17. 4, 5. a 24. 12. a 25. 7. 2 Chron. 33. 11. [b] Jer. 16. 13. [c] 1 Bren. 9. 7. Jer. 24. 9. a 25. 9. Zec. 8. 13. [d] Mic. 6. 15. Hag. 1. 6. ‡ Neu, *feddianna*. [e] Adn. 13. Galar. 1. 5. [f] Pen. 32. 15. [g] Jer. 28. 14. [h] Jer. 5. 15. a 6. 23. Luc 19. 43. [i] Jer. 48. 40. a 49. 22. Galar. 4. 19. Hos. 1. 8. § Heb. *wrandewi*. ‖ Heb. *wyneb-gref*. [k] Esay 47. 6.

51 A hi a fwytty ffrwyth dy anifeiliaid, a
ffrwyth dy ddaear, hyd oni'th ddinystrier:
yr hon ni âd i ti ŷd, gwin, nac olew, cyn-
nydd dy wartheg, na diadellau dy ddefaid,
hyd oni 'th ddifetho di.
52 A hi a warchae arnat ti yn dy holl
byrth, hyd oni syrthio dy uchel a'th gedyrn
gaerau, y rhai yr ydwyt yn ymddiried
ynddynt, trwy dy holl dir: hi a warchae
hefyd arnat yn dy holl byrth, o fewn dy
holl dir yr hwn a roddodd yr ARGLWYDD
dy DDUW i ti.
53 [l] Ffrwyth dy fru, *sef* cig dy feibion,
a'th ferched, y rhai a roddodd yr AR-
GLWYDD dy DDUW it', a fwyttâi yn y
gwarchae, ac yn y cyfyngdra a ddwg dy
elyn arnat.
54 Y gŵr tyner yn dy blith, a'r moethus
iawn, a greulona ei lygad wrth ei frawd, ac
wrth [m] wraig ei fynwes, ac wrth weddill ei
feibion y rhai a weddillodd efe:
55 Rhag rhoddi i un o honynt o gig ei
feibion, y rhai a fwytty efe; o eisiau gado
iddo ddim yn y gwarchae ac yn y cyfyng-
dra, â'r hwn y cyfynga dy elyn arnat o
fewn dy holl byrth.
56 Y wraig dyner a'r foethus yn dy fysg,
yr hon ni phrofodd osod gwadn ei throed
ar y ddaear, gan fwythau a thynerwch, a
greulona ei llygad wrth wr ei mynwes, ac
wrth ei mab, ac wrth ei merch,
57 Ac wrth ei † phlentyn a ddaw allan
‡ o'i chorph, a'i meibion y rhai a blanta
hi: canys hi a'u bwytty hwynt yn ddirgel,
pan ballo pob dim *arall* yn y gwarchae ac
yn y cyfyngdra, â'r hwn y cyfynga dy elyn
arnat o fewn dy byrth.
58 Oni chedwi ar wneuthur holl eiriau'r
gyfraith hon, y rhai sydd ysgrifenedig yn
y llyfr hwn, gan ofni'r enw gogoneddus
ac ofnadwy hwn, YR ARGLWYDD DY
DDUW;
59 Yna y gwna'r ARGLWYDD dy blaau
di yn rhyfedd, a phlaau dy had; *sef* plaau
mawrion a pharhâus, a chlefydau drwg a
pharhâus.
60 Ac efe a ddwg arnat holl [n] glefydau'r
Aipht, y rhai yr ofnaist rhagddynt; a glyn-
ant wrthyt.
61 Ie pob clefyd, a phob pla, yr hwn nid
*yw* 'sgrifenedig yn llyfr y gyfraith hon, a
§ ddwg yr ARGLWYDD arnat, hyd oni 'th
ddinystrier.
62 Felly chwi [o] a adewir yn ychydig
bobl, lle yr oeddych fel [p] ser y nefoedd o
liosowgrwydd; o herwydd na wrandewaist
ar lais yr ARGLWYDD dy DDUW.
63 A bydd, megis ag y llawenychodd yr
ARGLWYDD ynoch i wneuthur daioni i
chwi, ac i'ch amlhâu; felly [q] y llawen-
ycha'r ARGLWYDD ynoch i'ch dinystrio,
ac i'ch difetha chwi: a diwreiddir chwi o'r
tir yr wyt yn myned iddo i'w feddiannu.
64 A'r ARGLWYDD [r] a'th wasgar di ym
mhlith yr holl bobloedd, o'r *naill* gwrr i'r
ddaear hyd y cwrr *arall* i'r ddaear: a thi a
wasanaethi yno dduwiau dieithr, y rhai nid
adnabuost ti na'th dadau; *sef* pren a maen.
65 Ac [s] ym mhlith y cenhedloedd hyn ni
orphwysi, ac ni bydd gorphwysdra i wadn
dy droed: canys yr ARGLWYDD a rydd it'
yno galon ofnus, a darfodedigaeth llygaid,
a thristwch meddwl.
66 A'th einioes a fydd ynghrôg gyferbyn
â thi; a thi a ofni nos a dydd, ac ni byddi
sicr o'th einioes.

[l] Lef. 26. 29. 2 Bren. 6. 28, 29. Jer. 19. 9. Galar. 2. 20. a 4. 10. Baruch 2. 3. [m] Pen. 13. 6. † Heb. *ail-genedigaeth*. ‡ Heb. *oddi rhwng ei thraed*. [n] Pen. 7. 15. § Heb. *ddyrchafa*. [o] Pen. 4. 27. [p] Pen. 10. 22. [q] Diar. 1. 26. Esay 1. 24. [r] Lef. 26. 33. Neh. 1. 8. Jer. 16. 13. [s] Amos 9. 4.

t Job 7. 4. 67 [t] Y bore y dywedi, O na ddeuai 'r
hwyr! ac yn yr hwyr y dywedi, O na ddeu-
ai 'r bore! o achos ofn dy galon *gan* yr hwn
u Adn. 34. yr ofni, a [u] rhag gweledigaeth dy lygaid yr
hon a welych.
x Jer. 44. 7. 68 A'r ARGLWYDD [x] a'th ddychwel di
Hos. 8. 13. i'r Aipht, mewn llongau, ar hŷd y ffordd y
a 9. 3. dywedais wrthyt, [y] Na chwanegit ei gweled
y Pen. 17. mwy: a chwi a ymwerthwch yno i'ch ge-
16. lynion yn gaeth-weision ac yn gaeth-forwy-
nion, ac ni *bydd a'ch* pryno.

## PEN. XXIX.

Mawrth 7. P. 1 *Moses yn annog y bobl i ufudd-dod, trwy gofio'r gweithredoedd a welsent. 10 Gosod pawb ger bron yr Arglwydd, i fyned dan ei gyfammod ef. 18 Y mawr ddigofaint ar y neb a ymfendithio yn ei anwiredd. 29 I Dduw y perthyn pethau dirgel.*

1451. DYMA eiriau 'r cyfammod a orchymyn-
odd yr ARGLWYDD wrth Moses ei
wneuthur â meibion Israel, yn nhir Moab,
a Pen. 5. heb law [a] 'r cyfammod a ammododd efe â
2, 3. hwynt yn Horeb.
2 ¶ A Moses a alwodd ar holl Israel, ac
b Exod. 19. a ddywedodd wrthynt, [b] Chwi a welsoch yr
4. hyn oll a wnaeth yr ARGLWYDD o flaen eich
llygaid chwi yn nhir yr Aipht, i Pharaoh,
ac i'w holl weision, ac i'w holl dir;
c Pen. 4. 3 [c] Y profedigaethau mawrion a welodd
34. a 7. 19. eich llygaid, yr arwyddion a'r rhyfeddodau
mawrion hynny:
d Edrych 4 Ond [d] ni roddodd yr ARGLWYDD i
Esay 63. 17. chwi galon i wybod, na llygaid i weled, na
Ioan 8. 43. chlustiau i glywed, hyd y dydd hwn.
Eph. 4. 18. 2 Thess. 2. 5 Arweiniais chwi hefyd yn yr anialwch
11, 12. ddeugain mlynedd: [e] ni heneiddiodd eich
e Pen. 8. 4. dillad am danoch, ac ni heneiddiodd dy es-
gid am dy droed.
6 Bara ni fwyttasoch, a gwin neu ddïod
gref nid yfasoch: fel y gwybyddech mai
myfi *yw* yr ARGLWYDD eich DUW chwi.
7 A daethoch hyd y lle hwn: yna daeth
f Num. 21. allan [f] Sehon brenhin Hesbon, ac Og bren-
24, 33. hin Basan, i'n cyfarfod mewn rhyfel; a ni
Pen. 2. 32. a'u lladdasom hwynt.
a 3. 1.
g Num. 32. 8 Ac a ddygasom eu tir hwynt, ac [g] a'i
33. rhoisom yn etifeddiaeth i'r Reubeniaid, ac
Pen. 3. 12, i'r Gadiaid, ac i hanner llwyth Manasseh.
13. 9 [h] Cedwch gan hynny eiriau'r cyfam-
h Pen. 4. 6. mod hwn, a gwnewch hwynt; fel y llwydd-
Jos. 1. 7. och ym mhob peth a wneloch.
1 Bren. 2. 3.
10 ¶ Yr ydych chwi oll yn sefyll heddyw
ger bron yr ARGLWYDD eich DUW; pen-
naethiaid eich llwythau, eich henuriaid, a'ch
swyddogion, a holl wŷr Israel,
11 Eich plant, eich gwragedd, a'th ddï-
eithr-*ddyn* yr hwn *sydd* o fewn dy wersyll, o
i Edrych Jos. 9. 21, 23, 27. [i] gymynydd dy goed hyd † wehynnydd dy
dwfr:
† *dynnwr.* 12 I fyned o honot dan gyfammod yr
ARGLWYDD dy DDUW, a than ei gyngrair
ef, yr hwn y mae 'r ARGLWYDD dy DDUW
yn ei wneuthur â thi heddyw:
13 I'th sicrhâu heddyw yn bobl iddo ei
hun, ac i fod o hono yntau yn DDUW i ti,
megis y llefarodd wrthyt, ac fel y tyngodd
wrth dy dadau, wrth Abraham, wrth Isaac,
ac wrth Jacob.
14 Ac nid â chwi yn unig yr ydwyf fi yn
gwneuthur y cyfammod hwn, a'r cyngrair
yma;
15 Ond â'r *hwn* sydd yma gyd â ni yn
k Edrych sefyll heddyw ger bron yr ARGLWYDD ein
Act. 2. 39. 1 Cor. 7. DUW, ac [k] â'r *hwn* nid *yw* yma gyd â ni
14. heddyw:

16 (Canys chwi a wyddoch y modd y trig-
asom ni yn nhir yr Aipht, a'r modd y daeth-
om trwy ganol y cenhedloedd y rhai y
daethoch trwyddynt.
17 A chwi a welsoch eu ffieidd-dra hwynt
a'u ‡ heilun-dduwiau, pren a maen, arian ‡ Heb. *tom-*
ac aur, y rhai oedd yn eu mysg hwynt) *dduwiau.*
18 Rhag bod yn eich mysg wr neu wraig,
neu deulu, neu lwyth, yr hwn y try ei ga-
lon heddyw oddi wrth yr ARGLWYDD ein
DUW, i fyned *i* wasanaethu duwiau 'r cen-
hedloedd hyn; [l] rhag bod yn eich mysg l Heb. 12.
wreiddyn yn dwyn § gwenwyn a wermod: 15.
19 A bod, pan glywo efe eiriau 'r felldith § Heb.
hon, ymfendithio o hono yn ei galon ei *gwen-*
hun, gan ddywedyd, Heddwch fydd i mi, *wyn-llys,* neu, *bustl.*
er i mi rodio [m] ynghyndynrwydd fy Heb. *Rosh.*
nghalon, i 'chwanegu || meddwdod at sy- m Num. 15.
ched. 39.
20 [n] Ni fyn yr ARGLWYDD faddeu || Heb. *y meddw*
iddo; canys yna y myga digllonedd yr AR- *at y sych-*
GLWYDD a'i eiddigedd yn erbyn y gwr *edig.*
hwnnw, a'r holl felldithion *sydd* ysgrifene- n Ezec. 14.
dig yn y llyfr hwn a orwedd arno ef, a'r 7, 8.
ARGLWYDD [o] a ddilea ei enw ef oddi tan o Pen. 9.
y nefoedd. 14.
21 A'r ARGLWYDD [p] a'i neilldua ef oddi p Mat. 24.
wrth holl lwythau Israel, i *gael* drwg, yn ol 51.
holl felldithion y cyfammod a 'sgrifenwyd
yn llyfr y gyfraith hon.
22 A dywed y genhedlaeth a ddaw ar ol,
*sef* eich plant chwi, y rhai a godant ar eich
ol chwi, a'r dïeithr yr hwn a ddaw o wlad
bell, pan welont blaau y wlad hon, a'i chlef-
ydau, *trwy*'r rhai y mae 'r ARGLWYDD yn ei
chlwyfo hi;
23 *A*'i thir wedi ei losgi oll *gan* frwmstan
a halen, na heuir ef, ac na flaen-dardda, ac
na ddaw i fynu un llysieuyn ynddo, [q] fel q Gen. 19.
dinystr Sodom a Gomorrah, Admah a Sebo- 24, 25.
im, y rhai a ddinystriodd yr ARGLWYDD yn
ei lid a'i ddigofaint:
24 Ie yr holl genhedloedd a ddywedant,
[r] Pa ham y gwnaeth yr ARGLWYDD fel hyn r 1 Bren. 9.
i'r tir hwn? pa ddigter yw 'r digofaint mawr 8.
hyn? Jer. 22. 8.
25 Yna y dywedir, Am wrthod o honynt
gyfammod ARGLWYDD DDUW eu tadau, yr
hwn a ammododd efe â hwynt pan ddug efe
hwynt allan o dir yr Aipht.
26 Canys aethant a gwasanaethasant ddu-
wiau dïeithr, ac ymgrymmasant iddynt;
*sef* duwiau nid adwaenent hwy, ac ni † rodd- † Heb.
asai efe iddynt. *rannasai,*
27 Am hynny 'r ennynodd digllonedd yr neu, *yr hwn ni*
ARGLWYDD yn erbyn y wlad hon, i ddwyn *roisai idd-*
arni bob melldith *a'r y sydd* ysgrifenedig yn *ynt ran.*
y llyfr hwn.
28 A'r ARGLWYDD a'u dinystriodd hwynt
o'u tir mewn digofaint, ac mewn digter, ac
mewn llid mawr, ac a'u gyrrodd hwynt i
wlad arall, megis *y gwelir* heddyw.
29 Y dirgeledigaethau *sydd eiddo*'r AR-
GLWYDD ein DUW, a'r *pethau* amlwg *a*
*roddwyd* i ni, ac i'n plant hyd byth; fel y
gwnelom holl eiriau 'r gyfraith hon.

## PEN. XXX.

1 *Addaw trugareddau mawr i'r edifeiriol. 11 Bod y gorchymyn yn eglur. 15 Gosod angau ac einioes o flaen y bobl.* Dydd Mawrth Sulgwyn P.

A [a] Phan ddelo'r holl bethau hyn arnat, Mawrth
*sef* y fendith a'r felldith, y rhai a rodd- 8. B.
ais o'th flaen, ac adgofio o honot *hwynt* ym 1451.
mysg yr holl genhedloedd y rhai y'th yrrodd a Lef. 26.
yr ARGLWYDD dy DDUW di attynt; 40.

2 A dychwelyd o honot at yr ARGLWYDD
dy DDUW, a gwrando ar ei lais ef, yn ol yr
hyn oll yr ydwyt yn ei orchymyn i ti he-
ddyw, ti a'th blant, â'th holl galon, ac â'th
holl enaid :
[a] Psal. 106. 3 [b] Yna y dychwel yr ARGLWYDD dy
45. a 126. 1. DDUW dy gaethiwed, ac y cymer dru-
Jer. 32. 7. garedd arnat, ac y try, ac [c] a'th gasgl o fysg
[c] Psal. 147. yr holl bobloedd lle y'th wasgaro'r AR-
2. GLWYDD dy DDUW di.
[d] Neh. 1. 9. 4 [d] Pe y'th wthid i eithaf y nefoedd, oddi
yno y'th gasglai'r ARGLWYDD dy DDUW,
ac oddi yno y'th gymmerai.
5 A'r ARGLWYDD dy DDUW a'th ddwg
i'r tir a feddiannodd dy dadau, a thithau
a'i meddienni : ac efe a fydd dda wrthyt, ac
a'th wna yn amlach nâ'th dadau.
[e] Pen. 10. 6 A'r [e] ARGLWYDD dy DDUW a en-
16. waeda dy galon, a chalon dy had, i garu'r
Jer. 32. 39. ARGLWYDD dy DDUW â'th holl galon,
Ezec. 11.
19. a 36. 26. ac â'th holl enaid, er mwyn cael o honot
fyw.
7 A'r ARGLWYDD dy DDUW a rydd yr
holl felldithion hyn ar dy elynion, ac ar dy
gaseion, y rhai a'th erlidiant di.
8 Tithau a ddychweli, ac a wrandewi ar
lais yr ARGLWYDD, ac a wnai ei holl or-
chymynion ef, y rhai yr ydwyf yn eu gor-
chymyn i ti heddyw.
[f] Pen. 28. 9 [f] A'r ARGLWYDD dy DDUW a wna it'
11. lwyddo yn holl waith dy law, yn ffrwyth
dy fru, ac yn ffrwyth dy anifeiliaid, ac yn
ffrwyth dy dir, er daioni : canys try'r
[g] Jer. 32. ARGLWYDD i [g] lawenychu ynot, i *wneu-*
41. *thur* daioni it', fel y llawenychodd yn dy
dadau ;
10 Os gwrandewi ar lais yr ARGLWYDD
dy DDUW, i gadw ei orchymynion ef a'i
ddeddfau *y rhai sydd* ysgrifenedig yn llyfr
y gyfraith hon ; os dychweli at yr AR-
GLWYDD dy DDUW â'th holl galon, ac â'th
holl enaid.
11 ¶ O herwydd y gorchymyn yma, yr
[h] Esay 45. ydwyf yn ei orchymyn i ti heddyw, [h] nid
19. *yw* guddiedig oddi wrthyt, ac nid *yw* bell.
[i] Rhuf. 10. 12 [i] Nid yn y nefoedd *y mae,* i ddywedyd
6, &c. *o honot,* Pwy a ddring drosom i'r nefoedd,
ac a'i dwg i ni, fel y clywom, ac y gwnel-
om ef?
13 Ac nid o'r tu hwnt i'r môr *y mae,* i
ddywedyd *o honot,* Pwy a dramwya drosom
ni i'r tu hwnt i'r môr, ac a'i dwg ef i ni, fel
y clywom, ac y gwnelom ef?
14 Canys y gair *sydd* agos iawn attat, yn
dy enau, ac yn dy galon, i'w wneuthur ef.
[k] Pen. 11. 15 ¶ Wele, [k] rhoddais o'th flaen heddyw
26. einioes a daioni, ac angau a drygioni :
Adn. 19. 16 Lle'r ydwyf fi yn gorchymyn i ti
heddyw garu'r ARGLWYDD dy DDUW, i
rodio yn ei ffyrdd ef, ac i gadw ei orchy-
mynion, a'i ddeddfau, a'i farnedigaethau
ef ; fel y byddech fyw, ac y'th amlhaer, ac
y'th fendithio'r ARGLWYDD dy DDUW
yn y tir yr wyt ti yn myned iddo i'w feddi-
annu.
17 Ond os try dy galon ymaith, fel na
wrandawech, a'th yrru i ymgrymmu i dduw-
iau dieithr, a'u gwasanaethu hwynt ;
18 Yr wyf yn mynegi i chwi heddyw, y
difethir chwi yn ddiau, *ac* nad estynwch
ddyddiau yn y tir yr ydwyt yn myned dros
yr Iorddonen i fyned i mewn iddo i'w ber-
chenogi.
[l] Pen. 4. 19 [l] Galw'r wyf yn dyst i'th erbyn he-
26. ddyw y nefoedd a'r ddaear, [m] roddi o ho-
[m] Adn. 15. nof o'th flaen di einioes ac angau, fendith
a melldith : dewis dithau'r einioes, fel y
byddych fyw, ti a'th had ;
20 I garu o honot yr ARGLWYDD dy
DDUW *a* gwrando ar ei lais ef, a glynu
wrtho (canys efe *yw* dy einioes di, ac
estyniad dy ddyddiau) fel y trigech yn y
tir a dyngodd yr ARGLWYDD wrth dy dad-
au, wrth Abraham, wrth Isaac, ac wrth
Jacob, ar ei roddi iddynt.

## PEN. XXXI.

1 *Moses yn rhoi cysur yn y bobl, 7 ac yn Josua :* Mawrth
*9 yn rhoddi'r gyfraith i'r offeiriaid, i'w* 8. P.
*darllain ar y seithfed flwyddyn i'r bobl. 14*
*Duw'n rhoddi siars ar Josua, 19 a chân i*
*dystiolaethu yn erbyn y bobl. 24 Moses yn*
*gorchymyn llyfr y gyfraith i'r Lefiaid i'w*
*gadw. 28 Moses yn rhybuddio'r bobl o'u*
*hanufudd-dod i Dduw, wedi ei farwol-*
*aeth ef.*

A Moses a aeth ac a lefarodd y geiriau hyn 1451.
wrth holl Israel ;
2 Ac a ddywedodd wrthynt, [a] Mab [a] Pen. 34.
chwe-ugain mlynedd *ydwyf* fi heddyw : ni 7.
allaf mwy fyned allan, a dyfod i mewn : yr
ARGLWYDD hefyd a ddywedodd wrthyf,
[b] Ni chei fyned dros yr Iorddonen hon. [b] Num. 20.
3 Yr ARGLWYDD dy DDUW sydd yn 12. a 27. 13.
myned drosodd o'th flaen di ; efe a ddi- Pen. 3. 27.
nystria'r cenhedloedd hyn o'th flaen, a thi
a'u meddienni hwynt : Josua hefyd, efe a â
drosodd o'th flaen, [c] fel y llefarodd yr AR- [c] Num. 27.
GLWYDD. 21.
4 A'r ARGLWYDD a wna iddynt [d] fel [d] Num. 21.
y gwnaeth i Sehon ac i Og, brenhinoedd yr 24, 33.
Amoriaid, ac i'w tir hwynt, y rhai a ddi-
nystriodd efe.
5 A rhydd [e] yr ARGLWYDD hwynt o'ch [e] Pen. 7. 2.
blaen chwi ; gwnewch chwithau iddynt
hwy yn ol yr holl orchymynion a orchymyn-
ais i chwi.
6 Ymgryfhêwch, ac ymnerthwch ; nac
ofnwch, ac na ddychrynwch rhagddynt :
canys yr ARGLWYDD dy DDUW *sydd* yn
myned gyd â thi ; [f] ni'th edy, ac ni'th [f] Jos. 1. 5.
wrthyd. Heb. 13. 5.
7 ¶ A Moses a alwodd ar Josua, ac a ddy-
wedodd wrtho yngolwg holl Israel, Ym-
gadarnhâ, ac ymnertha : canys ti a ai
gyd â'r bobl yma i'r tir a dyngodd yr AR-
GLWYDD wrth eu tadau hwynt ar ei roddi
iddynt ; a thi a'i rhenni yn etifeddiaeth
iddynt.
8 A'r ARGLWYDD hefyd *sydd* yn myned
o'th flaen di ; efe a fydd gyd â thi ; ni'th edy,
ac ni'th wrthyd : [g] nac ofna, ac na lwfrhâ. [g] Jos. 1. 9.
9 ¶ A Moses a'sgrifenodd y gyfraith hon,
ac a'i rhoddes at yr offeiriaid meibion Lefi,
y rhai a ddygent arch cyfammod yr AR-
GLWYDD, ac at holl henuriaid Israel.
10 A Moses a orchymynodd iddynt, gan
ddywedyd, Yn ol *pob* saith mlynedd, ar yr
amser nodedig, ar [h] flwyddyn y gollyngdod, [h] Pen. 15.
ar wyl y pebyll, 1.
11 Pan ddelo holl Israel i ymddangos ger
bron yr ARGLWYDD dy DDUW, yn y lle a
ddewiso efe ; [i] y darllêni'r gyfraith hon o [i] Jos. 8.
flaen holl Israel, lle y clywant. 34, 35.
12 Cynnull y bobl ynghyd, y gwŷr, y Neh. 8. 1,
gwragedd, a'r plant, a'r dieithr-*ddyn a fyddo* 2, 5, &c.
o fewn dy byrth ; fel y gwrandawont, ac fel
y dysgont, ac yr ofnont yr ARGLWYDD eich
Duw, ac yr edrychont am wneuthur holl
eiriau'r gyfraith hon ;
13 Ac y byddo i'w plant, y rhai ni wy-
buant *ddim,* glywed a dysgu ofni'r AR-

ARGLWYDD eich Duw, yr holl ddyddiau y
byddoch fyw yn y tir yr ydych yn myned
iddo dros yr Iorddonen i'w feddiannu.
14 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Moses, Wele, nesaodd y dyddiau i ti i
farw: galw Josua, a sefwch ger bron ym
[k] Num. 27. 19. mhabell y cyfarfod, fel [k] y rhoddwyf or-
chymynion iddo ef. Yna'r aeth Moses a
Josua, ac a safasant ger bron ym mhabell
y cyfarfod.
[l] Exod. 33. 9. 15 [l] A'r ARGLWYDD a ymddangosodd
yn y babell mewn colofn gwmmwl: a'r
golofn gwmmwl a safodd ar ddrws y ba-
bell.
16 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
† Neu, *gwsgi*, 2 Sam. 7. 12. Moses, Wele, ti a † orweddi gyd â'th dadau;
a'r bobl yma a gyfyd, ac a butteiniant ar
ol duwiau dïeithriaid y tir y maent yn
myned i mewn iddo, ac a'm gwrthyd i,
ac a dyrr fy nghyfammod a wneuthum
ag ef.
17 A'm dig a ennyn yn eu herbyn y dydd
hwnnw; a mi a'u gwrthodaf hwynt, ac
[m] Pen. 32. 20. [m] a guddiaf fy wyneb oddi wrthynt; a
Psal. 104. 29. bwytteir ef, a drygau lawer a chyfyng-
derau ‡ a ddigwyddant iddo ef; a'r dydd
‡ Heb. *a'u caiff hwynt.* hwnnw y dywed efe, [n] Onid am nad *yw*'r
Arglwydd yn fy mysg y digwyddodd y
[n] Barn. 6. 13. drwg hwn i mi?
18 Canys myfi gan guddio a guddiaf fy
wyneb y dydd hwnnw, am yr holl ddryg-
ioni a wnaeth efe, pan drodd at dduwiau
dïeithr.
19 Ysgrifenwch yr awr hon gan hynny
i chwi y gân hon: dysg hi hefyd i feibion
Israel, *a* gosod hi yn eu genau hwynt; fel
y byddo'r gân hon yn dyst i mi yn erbyn
meibion Israel.
20 Canys dygaf ef i dir yn llifeirio o laeth
a mel, yr hwn a addewais trwy lw i'w dadau
ef; fel y bwyttao, ac y digoner, ac yr elo yn
fras: ond efe a dry at dduwiau dïeithr, ac
a'u gwasanaetha hwynt, ac a'm dirmyga i, ac
a ddiddymma fy nghyfammod.
21 Yna, pan ddigwyddo iddo ddrygau
lawer a chyfyngderau, y bydd i'r gân hon
dystiolaethu yn dyst yn ei wyneb ef: canys
nid anghofir hi o enau ei had ef: o herwydd
[o] Amos 5. 25, 26. mi a adwaen ei fwriad [o] y mae efe yn ei
§ amcanu heddyw, cyn dwyn o honof fi ef
§ Heb. *wneuthur.* i'r tir a addewais trwy lw.
22 ¶ A Moses a 'sgrifenodd y gân hon
ar y dydd hwnnw, ac a'i dysgodd hi i feib-
ion Israel.
23 Efe a orchymynodd hefyd i Josua fab
[p] Jos. 1. 6. Nun, ac a ddywedodd, [p] Ymgryfhâ, ac
ymnertha: canys ti a arweini feibion Israel
i'r tir a addewais iddynt trwy lw: a mi a
fyddaf gyd â thi.
24 ¶ A phan ddarfu i Moses ysgrifenu
geiriau'r gyfraith hon ar lyfr, hyd eu di-
wedd hwynt;
25 Yna y gorchymynodd Moses i'r Lefi-
aid y rhai oedd yn dwyn arch cyfammod yr
ARGLWYDD, gan ddywedyd,
[q] Ail-drych 2 Bren. 22. 8. 26 ¶ Cymmerwch lyfr y gyfraith hon, a
gosodwch ef ar ystlys arch cyfammod yr
ARGLWYDD eich Duw; fel y byddo yno yn
dyst i'th erbyn.
27 Canys mi a adwaen dy wrthnysig-
rwydd, a'th war-galedrwydd: wele, a myfi
etto yn fyw gyd â chwi heddyw, gwrthry-
felgar yn erbyn yr ARGLWYDD fuoch;
a pha faint mwy *y byddwch* wedi fy
marw?
28 Cesglwch attaf holl henuriaid eich
llwythau, a'ch swyddogion; fel y llefarwyf
y geiriau hyn lle y clywont hwy, [r] ac y cym- [r] Pen. 32. 1.
merwyf y nefoedd a'r ddaear yn dystion yn
eu herbyn hwy.
29 [s] Canys mi a wn, wedi fy marw, gan [s] Pen. 32. 5.
lygru yr ymlygrwch, ac y ciliwch o'r ffordd
a orchymynais i chwi; ac y digwydda i
chwi ddrwg [t] yn y dyddiau diweddaf; am [t] Gen. 49. 1.
y gwnewch ddrygioni yngolwg yr AR-
GLWYDD, i'w ddigio ef â gweithredoedd
eich dwylaw.
30 A llefarodd Moses lle y clybu holl gyn-
nulleidfa Israel eiriau'r gân hon, hyd eu di-
wedd hwynt.

## PEN. XXXII.

1 *Cân Moses, yr hon sydd yn gosod allan dru-* Mawrth 9. B.
*garedd Duw a'i ddial.* 46 *Moses yn annog*
*y bobl i ystyried y gân.* 48 *Duw yn ei an-*
*fon ef i fynydd Nebo, i weled y wlad, ac i*
*farw.*

[a] GWRANDÊWCH, y nefoedd, a llefa- 1451.
raf; a chlywed y ddaear eiriau fy [a] Pen. 4. 26. a 30. 19.
ngenau. Psal. 50. 4.
2 [b] Fy athrawiaeth a ddefnyna fel gwlaw: Esay 1. 2.
fy ymadrodd a ddifera fel gwlith; fel gwlith- Jer. 2. 12. a 6. 19.
wlaw ar îr-wellt, ac fel cawodydd ar las- [b] Esay 55.
wellt. 10, 11.
3 Canys enw'r ARGLWYDD a gy- 1 Cor. 3.
hoeddaf fi: rhoddwch fawredd i'n Duw 6, 7, 8.
ni. [c] 2 Sam. 23. 3.
4 *Efe yw* [c] y Graig; [d] perffaith *yw* ei Psal. 18. 2,
weithred; canys ei holl ffyrdd *ydynt* farn: 46. Hab. 1. 12.
[e] Duw gwirionedd, a heb anwiredd, cyf- [d] 2 Sam. 22.
iawn ac uniawn *yw* efe. 31.
5 † Y genhedlaeth wyrog a throfâus a [e] Job 34.
ymlygrodd yn ei erbyn trwy eu bai, heb *fod* 10.
yn blant iddo ef. † Neu,
6 Ai hyn a delwch i'r ARGLWYDD, bobl *Ymlygr-*
ynfyd ac angall? onid efe *yw* dy dad *usant: eu bai, nid*
*a'th* brynwr? onid efe a'th wnaeth, ac a'th *bai ei*
sicrhaodd? *feibion ef*
7 ¶ Cofia'r dyddiau gynt; ystyriwch fly- *ydyw;*
nyddoedd cenhedlaeth a chenhedlaeth: go- *cenhedl-*
fyn i'th dad, ac efe a fynega i ti; i'th hen- *aeth wyrog a throfâus*
uriaid, a hwy a ddywedant wrthyt. *ydynt.*
8 Pan [f] gyfrannodd y Goruchaf etifedd- [f] Zec. 9. 2.
iaeth y cenhedloedd, pan neillduodd efe Act. 17. 26.
feibion Adda, y gosododd efe derfynau'r [g] Exod. 15.
bobloedd yn ol rhifedi meibion Israel. 16.
9 Canys [g] rhan yr ARGLWYDD *yw* ei bobl; ‡ Neu, *coelbren.*
Jacob *yw* ‡ rhan ei etifeddiaeth ef. Heb.
10 Efe a'i cafodd ef [h] mewn tir anial, ac *llinyn.*
mewn diffaethwch gwag erchyll: § arwein- [h] Pen. 8.
iodd ef o amgylch, a pharodd iddo ddeall, 15. Jer. 2. 6.
a [i] chadwodd ef fel canwyll ei lygad. Hos. 13. 5.
11 [k] Fel y cyfyd eryr ei nyth, y castella § Neu,
dros ei gywion, y lleda ei esgyll, y cymmer *amgylch-*
hwynt, ac a'u dwg ar ei adenydd; *odd ef.*
12 *Felly*'r ARGLWYDD yn unig a'i har- [i] Psal. 17. 8.
weiniodd yntau, ac nid *oedd* duw dïeithr gyd Diar. 7. 2.
ag ef. Zec. 2. 8.
13 [l] Gwnaeth iddo farchogaeth ar uch- [k] Exod. 19.
elder y ddaear, a bwytta cnwd y maes, a 4.
sugno [m] mel o'r graig, ac olew o'r graig Pen. 1. 31.
gallestr; Esay 31. 5.
14 Ymenyn gwartheg, a llaeth defaid, a 46. 4. a
ynghŷd â brasder ŵyn, a hyrddod o 63. 9.
rywogaeth Basan, a bychod, [n] ynghŷd â Hos. 11. 3.
brasder grawn gwenith, a phur-waed grawn- [l] Esay 58.
win a yfaist. 14.
15 ¶ ‖ A'r [o] union [p] a aeth yn fras, ac a [m] Job 29.
wingodd; braseaist, tewychaist, pwyntiaist: 6.
Psal. 81. 16.
[n] Psal. 81. 16. a 147. 14.
‖ *A Jesurun*

[o] Pen. 33. 5, 26. Esay 44. 2. [p] Neh. 9. 25. Psal. 17. 10. Jer. 2. 7. a 5. 7. Hos. 13. 6.

ynа efe a wrthododd Dduw, *yr hwn* a'i
gwnaeth, ac a ddïystyrodd Graig ei iach-
awdwriaeth.
16 A dïeithr *dduwiau* y gyrrasant eiddig-
edd arno; â ffieidd-dra y digiasant ef.
17 [q] Aberthasant i gythreuliaid, † nid i
Dduw; i dduwiau nid adwaenent, i rai
newydd diweddar, *y rhai* nid ofnodd eich
tadau.
18 Y Graig a'th genhedlodd a anghofiaist
ti, a'r Duw a'th luniodd a ollyngaist ti dros
gof.
19 Yna y gwelodd yr Arglwydd, ac
a'u ‡ ffieiddiodd *hwynt*; o herwydd ei ddigio
gan ei feibion, a'i ferched.
20 Ac efe a ddywedodd, [r] Cuddiaf fy
wyneb oddi wrthynt, edrychaf beth *fydd*
eu diwedd hwynt: canys cenhedlaeth dro-
fâus *ydynt* hwy, [s] meibion heb ffyddlondeb
ynddynt.
21 Hwy a yrrasant eiddigedd arnaf â'r
*peth* nid *oedd* Dduw; digiasant fi â'u [t] ho-
feredd: [u] minnau a yrraf eiddigedd arnynt
hwythau â'r *rhai* nid *ydynt* bobl; â chenedl
ynfyd y digiaf hwynt.
22 Canys [x] tân a gynneuwyd yn fy nig,
ac a § lysg hyd uffern isod, ac a ‖ ddifa'r
tir a'i gynnyrch, ac a wna i sylfeini'r my-
nyddoedd ffaglu.
23 [y] Casglaf ddrygau arnynt; [z] treuliaf
fy saethau arnynt.
24 Llosgedig *fyddant* gan newyn, ac wedi
eu bwytta gan † wres poeth, a chwerw-
ddinystr: anfonaf hefyd arnynt [a] ddan-
nedd bwystfilod, ynghyd â gwenwyn seirph
y llwch.
25 [b] Y cleddyf oddi allan, a dychryn
‡ oddi fewn, a § ddifetha'r gwr ieuangc a'r
wyryf *hefyd*, y plentyn sugno ynghyd â'r
gwr briglwyd.
26 Dywedais, Gwasgaraf hwynt i gongl-
au, paraf i'w coffadwriaeth ddarfod o fysg
dynion;
27 Oni bai im' ofni dig y gelyn, rhag i'w
gwrthwynebwyr ymddwyn yn ddïeithr, *a*
rhag dywedyd o honynt, ‖ Ein llaw uchel
ni, ac nid yr Arglwydd, a wnaeth hyn
oll.
28 Canys cenedl heb gyngor *ydynt* hwy,
ac heb ddeall ynddynt.
29 [c] Oh na baent ddoethion, [d] na dde-
allent hyn, nad ystyrient eu diwedd!
30 Pa fodd yr ymlidiai [e] un fil, ac y
gyrrai dau ddengmil i ffoi, ond am [f] werthu
o'u Craig hwynt, a chau o'r Arglwydd
arnynt?
31 Canys nid fel ein Craig ni *y mae* eu
craig hwynt; [g] a bydded ein gelynion yn
farnwŷr.
32 Canys † o winwŷdden Sodom, ac o
feusydd Gomorrah, *y mae* eu gwinwŷdden
hwynt: eu grawnwin hwynt *sydd* rawnwin
bustlaidd; grawn-syppiau chwerwon *sydd*
iddynt.
33 Gwenwyn dreigiau *yw* eu gwin hwynt,
a chreulon wenwyn aspiaid.
34 Onid *yw* hyn [h] ynghudd gyd â myfi,
wedi ei selio ym mysg fy nhrysorau?
35 [i] I mi *y perthyn* dïal, a thalu 'r
pwyth; mewn pryd y llithr eu troed
hwynt: canys [k] agos *yw* dydd eu trych-
ineb, a phrysuro y mae'r hyn a barotto-
wyd iddynt.
36 Canys yr Arglwydd a farna ei bobl,

[q] Lef. 17. 7. Psal. 106. 37. 1 Cor. 10. 20. Dat. 9. 20.
† Neu, nid oedd-ynt Dduw.
‡ Neu, ddiystyr-odd.
[r] Pen. 31. 17.
[s] Esay 30. 9.
[t] 1 Sam. 12. 21. 1 Bren. 16. 19.
[u] Hos. 1. 10. Rhuf. 10. 19.
[x] Jer. 15. 14. Galar. 4. 11.
§ Neu, losgodd.
‖ Neu, ddifaodd.
[y] Esay 26. 15.
[z] Psal. 7. 12, 13. Ezec. 5. 16.
† Heb. farwor tanllyd. Hab. 3. 5.
[a] Lef. 20. 22.
[b] Galar. 1. 20. Ezec. 7. 15. 2 Cor. 7. 5.
‡ Heb. o'r ystafelloedd.
§ Heb. ddifuddia.
‖ Heb. Uchel yw ein llaw ni.
[c] Psal. 81. 8.
[d] Galar. 1. 9.
[e] Lef. 26. 8. Jos. 23. 10. 2 Chron. 24. 24. Esay 30. 17.
[f] Psal. 44. 12. Esay 50. 1. a 52. 3.
[g] 1 Sam. 4. 8. Jer. 40. 3.
† Neu, gwaeth yw eu gwinwŷdden nâ gwinwŷdden Sodom.
[h] Job 14. 17. Jer. 2. 22. Hos. 13. 12. Rhuf. 2. 5.
[i] Psal. 49. 1. Eccl. 28. 1. Rhuf. 12. 19. Heb. 10. 30.
[k] 2 Petr 2. 3.

ac [l] a edifarhâ am ei weision; pan welo
ymadaw o'u ‡ nerth, ac [m] nad *oes* na gwar-
chaedig, na gweddilledig.
37 Ac efe a ddywed, [n] Pa le *y mae* eu
duwiau hwynt, *a'r* graig yr ymddiriedasant
ynddi,
38 Y rhai a fwyttasant frasder eu ha-
berthau, *ac* a yfasant win eu dïod-offrwm?
codant a chynnorthwyant chwi, *a* byddant
loches i chwi.
39 Gwelwch bellach mai [o] myfi, myfi *yw*
efe; ac [p] nad *oes* duw ond myfi: [q] myfi sydd
yn lladd, ac yn bywhâu; myfi a archollaf,
ac mi a feddyginiaethaf: ac ni *bydd* a achu-
bo o'm llaw.
40 Canys codaf fy llaw i'r nefoedd, a dy-
wedaf, Mi a fyddaf fyw byth.
41 [r] Os hogaf fy nghleddyf disglair, ac
ymaflyd o'm llaw mewn barn; dychwelaf
ddïal ar fy ngelynion, a thalaf y pwyth i'm
caseion.
42 Meddwaf fy saethau â gwaed (a'm
cleddyf a fwytty gig) â gwaed y lladdedig
a'r caeth, o ddechreu [s] dïal ar y gelyn.
43 [t] Y cenhedloedd, § llawenhêwch *gyd*
â'i bobl ef: canys efe a ddïal waed ei
weision, ac a ddychwel ddïal ar ei ely-
nion, ac a drugarhâ wrth ei dir *a'i* bobl ei
hun.
44 ¶ A daeth Moses ac a lefarodd holl
eiriau'r gân hon lle y clybu'r bobl, efe a
Josua mab Nun.
45 A darfu i Moses lefaru'r holl eiriau
hyn wrth holl Israel:
46 A dywedodd wrthynt, [u] Meddyliwch
yn eich calonnau am yr holl eiriau yr ydwyf
yn eu tystiolaethu wrthych heddyw; y rhai
a orchymynwch i'ch plant, i edrych am
wneuthur holl eiriau'r gyfraith hon.
47 Canys nid gair ofer yw hwn i chwi:
o herwydd eich einioes chwi *yw* efe; a
thrwy'r gair hwn yr estynwch ddyddiau
yn y tir yr ydych yn myned iddo dros yr Ior-
ddonen i'w feddiannu.
48 ¶ [x] A'r Arglwydd a lefarodd wrth
Moses ynghorph y dydd hwnnw, gan ddy-
wedyd,
49 Esgyn i'r mynydd Abarim hwn, *sef*
mynydd Nebo, yr hwn *sydd* yn nhir Moab,
ar gyfer Jericho; ac edrych ar wlad Canaan,
yr hon yr ydwyf fi yn ei rhoddi i feibion
Israel yn etifeddiaeth.
50 A bydd farw yn y mynydd yr esgyni
iddo, a chasgler di at dy bobl; megis y bu
farw [y] Aaron dy frawd ym mynydd Hor, ac
y casglwyd ef at ei bobl:
51 O herwydd [z] gwrthryfelasoch i'm
herbyn ym mysg meibion Israel, wrth ddyf-
roedd ‖ cynnen Cades, *yn* anialwch Sin;
oblegid ni'm [a] sancteiddiasoch ym mhlith
meibion Israel.
52 Canys y wlad a gai di ei gweled ar *dy*
gyfer; ond yno nid ai, i'r tir yr ydwyf fi yn
*ei* roddi i feibion Israel.

PEN. XXXIII.

*2 Ardderchowgrwydd Duw. 6 Bendithion y deuddeg llwyth. 26 Godidowgrwydd Israel.*

A Dyma'r fendith â'r hon y bendithiodd
Moses [a] gwr Duw feibion Israel, cyn
ei farwolaeth.
2 Ac efe a ddywedodd, [b] Yr Arglwydd
a ddaeth allan o Sinai, ac a gododd o Seir
iddynt; ymlewyrchodd o fynydd Paran,
ac efe a ddaeth gyd â [c] myrddiwn o saint,

[l] Psal. 106. 45. Jer. 31. 20. 2 Mac. 7. 6.
‡ Heb. llaw.
[m] 1 Bren. 14. 10 a 21. 21. 2 Bren. 14. 26.
[n] Barn. 10. 14. Jer. 2. 28.
[o] Psal. 102. 27. Esay 41. 4. a 48. 12.
[p] Pen. 4. 35. Esay 45. 5, 11, 22.
[q] 1 Sam. 2. 6. 2 Bren. 5. 7. Job 5. 18. Hos. 6. 1. Tob. 13. 2. Doeth. 16. 13.
[r] Esay 27. 1. a 34. 5. a 66. 16. Ezec. 21. 14 20.
[s] Job 13. 24. Jer. 30. 14. Galar. 2. 5.
[t] Rhuf. 15. 10.
§ Neu, molienнwch ei bobl ef, neu, cenwch.
[u] Pen. 6. 6. a 11. 18.
[x] Num. 27. 12.
[y] Num. 20. 25, 28. a 33. 38.
[z] Num. 20. 11, 12, 13. a 27. 14.
‖ Meribah.
[a] Edrych Lef. 10. 3.
Mawrth 9. P. 1451.
[a] Psal. 90. tit. 1491.
[b] Exod. 19. 18. Hab. 3. 3.
[c] Edrych Psal. 68. 17. Dan. 7. 10. Act. 7. 53. Gal. 3. 19. Heb. 2. 2. Dat. 5. 11. a 9. 16.

a † thanllyd gyfraith o'i ddeheulaw iddynt.
3 d Caru y mae efe y bobl: ei holl saint *ydynt* yn dy law: a hwy a ymlynasant wrth dy draed; *pob un* a dderbyn o'th eiriau.
4 Moses a orchymynodd gyfraith i ni, e yn etifeddiaeth i gynnulleidfa Jacob.
5 Ac efe oedd f frenhin yn ‡ g Israel, pan ymgasglodd pennau 'r bobl ynghŷd â llwythau Israel.
6 ¶ Bydded fyw Reuben, ac na fydded farw, ac *na* bydded ei ddynion *ychydig o* rifedi.
7 ¶ *Bydded* hyn hefyd i Judah. Ac efe a ddywedodd, Clyw, O ARGLWYDD, lais Judah, ac at ei bobl dwg ef: digon fyddo iddo ei ddwylaw ei hun, a bydd gymmorth rhag ei elynion.
8 ¶ Ac am Lefi y dywedodd, h *Bydded* dy Thummim a'th Urim i'th wr sanctaidd, i yr hwn a brofaist ym Massah, *ac* a gynhennaist ag ef wrth ddyfroedd Meribah;
9 Yr hwn a ddywedodd am ei dad ac am ei fam, Ni welais ef, k a'i frodyr ni's adnabu, ac nid adnabu ei blant ei hun: canys l cadwasant dy eiriau, a chynhaliasant dy gyfammod.
10 Dysgant dy farnedigaethau i Jacob, a'th gyfraith i Israel: gosodant arogl-darth § ger dy fron, a llosg-aberth ar dy allor.
11 Bendithia, O ARGLWYDD, ei olud ef, a bydd foddlon i waith ei ddwylaw ef: archolla lwynau '*r rhai* a godant i'w erbyn, a'i gaseion, fel na chodont.
12 ¶ Am Benjamin y dywedodd efe, Anwylyd yr ARGLWYDD a drig mewn diogelwch gyd ag ef; yr hwn fydd yn cysgodi drosto ar hŷd y dydd, ac yn aros rhwng ei ysgwyddau ef.
13 ¶ Ac am Joseph y dywedodd efe, m Ei dir ef *fydd* wedi ei fendigo gan yr ARGLWYDD, â hyfrydwch y nefoedd, â gwlith, ac â dyfnder yn gorwedd isod;
14 *Hefyd* â hyfrydwch cynnyrch yr haul, ac â hyfrydwch addfed-ffrwyth y lleuadau,
15 Ac â *hyfrydwch* pen n mynyddoedd y dwyrain, ac â hyfrydwch bryniau tragywyddoldeb,
16 Ac â hyfrydwch y ddaear, ac â'i chyflawnder, ac ag ewyllys da o preswylydd y berth: delo *bendith* ar ben Joseph, ac ar gorun yr hwn p a neillduwyd oddi wrth ei frodyr.
17 Ei brydferthwch *sydd debyg* i gyntafanedig ei ŷch, a'i gyrn ef *sydd* gyrn unicorn: â hwynt y cornia efe'r bobl ynghŷd *hyd* eithafoedd y ddaear: a q dyma fyrddiwn Ephraim, ïe dyma filoedd Manasseh.
18 ¶ Ac am Zabulon y dywedodd efe, r Ymlawenycha, Zabulon, yn dy fynediad allan; a *thi*, Issachar, yn dy bebyll.
19 Galwant bobloedd i 'r mynydd; yna 'r s aberthant ebyrth cyfiawnder: canys cyfoeth y moroedd a sugnant, a chuddiedig drysorau 'r tywod.
20 ¶ Ac am Gad y dywedodd efe, Bendigedig yw t ehangydd Gad: megis llew y mae efe yn aros, fel y rhwygo efe yr ysgwyddog a'r pen.
21 u Edrychodd ‖ am dano ei hun yn y dechreuad; canys yno, yn rhan y cyfreithwr, y gosodwyd ef: x efe a ddaeth *gyd* â phennaethiaid y bobl; gwnaeth efe gyfiawnder yr ARGLWYDD, a'i farnedigaethau gyd ag Israel.
22 ¶ Am Ddan hefyd y dywedodd, Dan yn genaw llew a neidia o Basan.
23 ¶ Ac am Naphtali y dywedodd, O Naphtali, y llawn o hawddgarwch, a chyflawn o fendith yr ARGLWYDD: z meddianna di 'r gorllewin a'r dehau.
24 ¶ Ac am Aser y dywedodd, a Bendithier Aser â phlant: bydded gymmeradwy *gan* ei frodyr; ac efe b a wlych ei droed mewn olew.
25 Haiarn a phres † *fydd* dan dy esgid di; a megis dy ddyddiau, *y bydd* dy nerth.
26 ¶ Nid *oes* megis DUW ‡ c Israel, *yr hwn* sydd yn marchogaeth y nefoedd yn gymmorth it', a'r wybrennau yn ei fawredd.
27 *Dy* noddfa *yw* DUW tragywyddol, ac oddi tanodd *y mae* 'r breichiau tragywyddol: efe *a* wthia dy elyn o'th flaen, ac a ddywed, d Difetha *ef*.
28 d Israel hefyd a drig ei hun yn ddiogel: ffynnon Jacob *a fydd* mewn tir ŷd, a gwin; ei nefoedd hefyd a ddifera wlith.
29 Gwynfydedig wyt, O Israel; pwy *sydd* megis ti, O bobl gadwedig gan yr ARGLWYDD, tarian dy gynhorthwy, yr hwn *hefyd yw* cleddyf dy ardderchowgrwydd! a'th e elynion a § ymostyngant i ti, a f thi a sethri ar eu huchel leoedd hwynt.

## PEN. XXXIV.

1 *Moses oddi ar fynydd Nebo yn gweled y wlad;* 5 *ac yn marw yno.* 6 *Ei gladdedigaeth.* 7 *Ei oedran.* 8 *Galaru am dano dros ddeng niwrnod ar hugain.* 9 *Josua yn dyfod yn ei le ef.* 10 *Clod Moses.*

A Moses a esgynodd o rosydd Moab, i a fynydd Nebo, *i* ben † Pisgah, yr hwn *sydd* ar gyfer Jericho: a'r ARGLWYDD a ddangosodd iddo b holl wlad Gilead, hyd Ddan,
2 A holl Naphtali, a thir Ephraim a Manasseh, a holl dir Judah, hyd y môr eithaf,
3 Y dehau hefyd, a gwastadedd dyffryn Jericho, a c dinas y palmwŷdd, hyd Soar.
4 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrtho, d Dyma'r tir a fynegais i Abraham, i Isaac, ac i Jacob, gan ddywedyd, I'th had di y rhoddaf *ef*; perais it' *ei* weled â'th lygaid, ond nid a'i di drosodd yno.
5 ¶ A Moses gwas yr ARGLWYDD a fu farw yno, yn nhir Moab, yn ol gair yr ARGLWYDD.
6 ¶ Ac efe a'i claddodd ef mewn glynn yn nhir Moab, gyferbyn a Beth-peor: ac e nid edwyn neb ei fedd ef hyd y dydd hwn.
7 ¶ A Moses *ydoedd* fab ugain mlwydd a chant pan fu efe farw: f ni thywyllasai ei lygad, ac ni chiliasai ei ireidd-dra ef.
8 ¶ A Meibion Israel a wylasant am Moses yn rhosydd Moab g ddeng-niwrnod ar hugain: a chyflawnwyd dyddiau wylofain galar am Moses.
9 ¶ A Josua mab Nun *oedd* gyflawn o yspryd doethineb; o herwydd h Moses a roddasai ei ddwylaw arno: a meibion Israel a wrandawsant arno, ac a wnaethant fel y gorchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.
10 ¶ Ac ni chododd prophwyd *etto* yn Israel megis Moses, i yr hwn a adnabu 'r ARGLWYDD wyneb yn wyneb;
11 Ym mhob *rhyw* k arwyddion a rhyfeddodau, y rhai yr anfonodd yr ARGLWYDD *ef* i'w gwneuthur yn nhir yr Aipht, ar Pharaoh, ac ar ei holl weision, ac ar ei holl dir ef,
12 Ac yn yr holl law gadarn, ac yn yr holl ofn mawr, y rhai a wnaeth Moses yngolwg holl Israel.

† Heb. *thân cyfraith.* d Exod. 19. 5. e Psal. 119. 111. f Edrych Gen. 35. 31. ‡ *Jesurun.* g Pen. 32. 15. h Exod. 28. 30. i Num. 20. 13. k Exod. 32. 28. l Mal. 2. 5. Edrych Jer. 18. 18. § Heb. *wrth dy drwyn.* m Gen. 49. 25. n Gen. 49. 26. o Exod. 3. 2, 4. p Gen. 49. 26. q Gen. 48. 19. r Gen. 49. 13, 14, 15. s Psal. 4. 5. t Edrych Jos. 13. 10, &c. 1 Chron. 12. 8, &c. u Num. 32. 16, 17, &c. ‖ Neu, *iddo'i hun am y rhan gyntaf.* x Jos. 4. 12.

y Gen. 29. 21. z Edrych Jos. 19. 32, &c. a Gen. 49. 20. b Edrych Job 29. 6. † Neu, *fydd dy esgidiau.* ‡ *Jesurun.* c Pen. 32. 15. d Num. 23. 9. Jer. 23. 6. a 33. 16. e 2 Sam. 22. 45. Psal. 18. 44. a 66. 3. a 81. 15. § Neu, *gair yn gelwyddog.* f Pen. 32. 13.

Mawrth 10. B. 1451. a Edrych Num. 27. 12. † *y bryn.* b Pen. 3. 27. 2 Mac. 2. 4. c Barn. 1. 16. 2 Chron. 28. 15. d Gen. 12. 7. a 13. 15. a 15. 18. a 26. 3. a 28. 13. e Edrych Jud. 9. f Edrych Jos. 14. 10, 11. g Num. 20. 29. Edrych Gen. 50. 3, 10. h Num. 27. 18. i Num. 12. 6, 8. k Pen. 4. 34. a 7. 19.

# ¶ LLYFR JOSUA.

## PEN. I.

Mawrth 10. P. 1 *Yr Arglwydd yn gorchymyn i Josua gym-*
*meryd lle Moses.* 3 *Terfynau gwlad yr*
*addewid.* 5, 9 *Duw yn addo cynhorthwyo*
*Josua;* 8 *ac yn rhoddi iddo addysg.* 10
*Yntau yn parottôi y bobl i fyned dros yr*
*Iorddonen;* 12 *ac yn dwyn ar gof i'r*
*ddau lwyth a hanner eu haddewid wrth*
*Moses.* 16 *Hwythau yn addaw ufuddhâu*
*iddo ef.*

Cyn AC wedi marwolaeth Moses, gwas yr AR-
Crist GLWYDD, y llefarodd yr ARGLWYDD
1451. wrth Josua fab Nun, [a] gweinidog Moses, gan
[a] Deut. 1. 38. ddywedyd,
2 [b] Moses fy ngwas a fu farw: gan hyn-
[b] Deut. 34. 5. ny cyfod yn awr, dos dros yr Iorddonen
hon, ti, a'r holl bobl hyn, i'r wlad yr yd-
wyf fi yn *ei* rhoddi iddynt hwy, meibion
Israel.
[c] Deut. 11. 24. 3 [c] Pob man y sango gwadn eich troed
Pen. 14. 9. chwi arno, a roddais i chwi; fel y lleferais
[d] Exod. 23. 31. wrth Moses.
4 [d] O'r anialwch, a'r Libanus yma, hyd
Num. 34. 3. yr afon fawr, afon Euphrates, holl wlad yr
Hethiaid, hyd y môr mawr, tu a machludiad
yr haul, fydd eich terfyn chwi.
5 Ni saif neb o'th flaen di holl ddyddiau
dy einioes: megis y bûm gyd â Moses, y
[e] Deut. 31. 6, 8. byddaf gyd â thithau: [e] ni'th adawaf, ac
Heb. 13. 5. ni'th wrthodaf.
[f] Deut. 31. 23. 6 [f] Ymgryfhâ, ac ymwrola: canys ti
a wnai i'r bobl hyn etifeddu'r wlad yr
hon a dyngais wrth eu tadau ar *ei* rhoddi
iddynt.
7 Yn unig ymgryfhâ, ac ymwrola yn lew,
i gadw ar wneuthur yn ol yr holl gyfraith
[g] Deut. 31. 7. [g] a orchymynodd Moses fy ngwas i ti: [h] na
ogwydda oddi wrthi, ar y llaw ddehau nac ar
[h] Deut. 5. 32. a 28. 14. y llaw aswy; fel y † ffynnech i ba le bynnag
yr elych.
† Neu, *gwnelych yn gall.* 8 Nac ymadawed [i] llyfr y gyfraith hon
o'th enau, eithr [k] myfyria ynddo ddydd
[i] Deut. 17. 18, 19. a nos; fel y cedwych ar wneuthur yn ol
yr hyn oll *sydd* ysgrifenedig ynddo: ca-
[k] Psal. 1. 2. nys yna y llwyddi yn dy ffyrdd, ac yna y
ffynni.
[l] Deut. 31. 7, 8. 9 [l] Oni orchymynais it? Ymgryfhâ, ac
ymwrola; nac arswyda, ac nac ofna: canys
yr ARGLWYDD dy DDUW *fydd* gyd â thi, i
ba le bynnag yr elych.
10 ¶ Yna Josua a orchymynodd i lyw-
odraethwŷr y bobl, gan ddywedyd,
11 Tramwywch trwy ganol y llu, a gor-
chymynwch i'r bobl, gan ddywedyd, Pa-
[m] Pen. 3. 2. rottôwch i chwi luniaeth: canys [m] o fewn
tridiau y byddwch chwi yn myned dros yr
Iorddonen hon, i ddyfod i feddiannu'r wlad
y mae'r ARGLWYDD eich Duw yn *ei* rhoddi
i chwi i'w meddiannu.
12 ¶ Wrth y Reubeniaid hefyd, ac wrth
y Gadiaid, ac wrth hanner llwyth Manasseh,
y llefarodd Josua, gan ddywedyd,
[n] Num. 32. 20, 28. 13 Cofiwch [n] y gair a orchymynodd Mo-
Pen. 22. 4. ses gwas yr ARGLWYDD i chwi, gan ddy-
wedyd, Yr ARGLWYDD eich Duw a esm-
wythaodd arnoch, ac a roddodd i chwi y
wlad hon.
14 Eich gwragedd, eich plant, a'ch ani-
feiliaid, a drigant yn y wlad a roddodd Mo-
‡ *yn bumpiau;* ses i chwi o'r tu yma i'r Iorddonen: ond
fel chwychwi a ewch drosodd ‡ yn arfogion o
Exod. 13. 18. flaen eich brodyr, y sawl *ydych* gedyrn o
nerth, a chynnorthwywch hwynt;

15 Nes rhoddi o'r ARGLWYDD lonydd-
wch i'ch brodyr, fel i chwithau, a medd-
iannu o honynt hwythau y wlad y mae'r
ARGLWYDD eich DUW yn ei rhoddi
iddynt: [o] yna dychwelwch i wlad eich eti- [o] Pen. 22. 4, &c.
feddiaeth, a meddiennwch hi, yr hon a
roddodd Moses gwas yr ARGLWYDD i chwi,
o'r tu yma i'r Iorddonen, tu a chodiad yr
haul.
16 ¶ Hwythau a attebasant Josua, gan
ddywedyd, Ni a wnawn yr hyn oll a orchy-
mynaist i ni; awn *hefyd* i ba le bynnag yr
anfonych ni.
17 Fel y gwrandawsom ar Moses *ym* mhob
peth, felly y gwrandâwn arnat tithau: yn
unig bydded yr ARGLWYDD dy DDUW gyd
â thi, megis y bu gyd â Moses.
18 Pwy bynnag a anufuddhao dy orchy-
myn, ac ni wrandawo ar dy ymadroddion,
yn yr hyn oll a orchymynech iddo, rhodder
ef i farwolaeth: yn unig ymgryfhâ, ac ym-
wrola.

## PEN. II.

1 *Rahab yn derbyn i'w thŷ, ac yn celu'r ddau* Mawrth 11. B.
*ysbïwr a ddanfonasid o Sittim.* 8 *Y cyfam-*
*mod rhyngthi hi â hwynt.* 13 *Eu dychweliad*
*a'u newyddion hwynt.*

A Josua mab Nun a anfonodd o [a] Sit- 1451.
tim ddau wr, i chwilio'n ddirgel, gan [a] Num. 25. 1.
ddywedyd, Ewch, edrychwch y wlad, a Je-
richo. A hwy a aethant, ac [b] a ddaethant i [b] Heb. 11. 31.
dŷ putteinwraig a'i henw [c] Rahab, ac a let-
tyasant yno. Iago 2. 25.
2 A mynegwyd i frenhin Jericho, gan ddy- [c] Mat. 1. 5.
wedyd, Wele, gwŷr a ddaethant yma heno
o feibion Israel, i chwilio'r wlad.
3 A brenhin Jericho a anfonodd at Rahab,
gan ddywedyd, Dwg allan y gwŷr a ddaeth
attat, y rhai a ddaeth i'th dŷ di: canys i
chwilio'r holl wlad y daethant.
4 Ond y wraig a gymmerasai'r ddau wr,
ac a'u cuddiasai hwynt, ac a ddywedodd
fel hyn; Gwŷr a ddaeth attaf fi, ond ni
wyddwn i o ba le *y daethent* hwy.
5 A phan gauwyd y porth yn y tywyll-
wch, y gwŷr a aeth allan; ni wn i ba le'r
aeth y gwŷr: canlynwch yn fuan ar eu
hol hwynt; canys chwi a'u goddiweddwch
hwynt.
6 Ond [d] hi a barasai iddynt esgyn i nen [d] Edrych
y tŷ, ac a'u cuddiasai hwynt mewn boll- 2 Sam. 17.
deidiau llin, y rhai oedd ganddi wedi eu 19.
hysgafnu ar nen y tŷ.
7 A'r gwŷr a ganlynasant ar eu hol hwynt,
tu a'r Iorddonen, hyd y rhydau: a'r porth
a gauwyd, cyn gynted ag yr aeth y rhai oedd
yn erlid ar eu hol hwynt allan.
8 ¶ A chyn iddynt hwy gysgu, hi a aeth
i fynu attynt hwy ar nen *y tŷ*:
9 A hi a ddywedodd wrth y gwŷr, Mi a
wn roddi o'r ARGLWYDD i chwi y wlad; [e] Gen. 35. 5.
o herwydd [e] eich arswyd chwi a syrthiodd
arnom ni, a holl drigolion y wlad a † ddi- Exod. 23. 27.
galonnasant rhag eich ofn. † Heb. *doddasant.*
10 Canys ni a glywsom fel [f] y sychodd
yr ARGLWYDD ddyfroedd y môr coch
o'ch blaen chwi, pan ddaethoch allan o'r [f] Exod. 14. 21.
Aipht; a'r hyn a wnaethoch i ddau frenhin Pen. 4. 23.
yr Amoriaid, y rhai *oedd* tu hwnt i'r Ior- [g] Num. 21. 24, 34.
ddonen, *sef* i [g] Sehon ac i Og, y rhai a ddi-
frodasoch chwi. [h] Exod. 15.
11 A phan glywsom, yna [h] y'n digalon- 14.

nwyd, fel na safodd mwyach gysur yn neb,
i Deut. 4. 39. rhag eich ofn: canys [i] yr ARGLWYDD eich
Duw, efe *sydd* Dduw yn y nefoedd uchod,
ac ar y ddaear isod.

12 Yn awr gan hynny, tyngwch, atto-
lwg, wrthyf, myn yr ARGLWYDD, o he-
rwydd i mi wneuthur trugaredd â chwi, y
k Edrych 1 Tim. 5. 8. gwnewch chwithau hefyd drugaredd â [k] thŷ
fy nhad innau; ac y rhoddwch i mi arwydd
gwir:

13 Ac y cedwch yn fyw fy nhad, a'm mam,
a'm brodyr, a'm chwïorydd, a'r hyn oll *sydd*
ganddynt, ac y gwaredwch ein heinioes rhag
angau.

14 A'r gwŷr a ddywedasant wrthi, Ein
heinioes *a roddwn* i farw drosoch (os chwi
ni fynegwch ein neges hyn) pan roddo'r
l Barn. 1. 24. ARGLWYDD i ni y wlad hon, oni [l] wnawn â
chwi drugaredd a gwirionedd.

15 Yna hi a'u gollyngodd hwynt i wared
wrth raff trwy'r ffenestr: canys ei thŷ hi
*oedd* ar fur y ddinas, ac ar y mur yr oedd hi
yn trigo.

16 A hi a ddywedodd wrthynt, Ewch
i'r mynydd, rhag i'r erlidwŷr gyfarfod â
chwi: ac ymguddiwch yno dridiau, nes dy-
chwelyd yr erlidwŷr; ac wedi hynny ewch
i'ch ffordd.

17 A'r gwŷr a ddywedasant wrthi, Dï-
euog *fyddwn* ni oddi wrth dy lw yma â'r
hwn y'n tyngaist.

18 Wele, *pan* ddelom ni i'r wlad, rhwym
y llinyn yma o edau goch yn y ffenestr y
gollyngaist ni i lawr trwyddi: casgl hefyd
dy dad, a'th fam, a'th frodyr, a holl dy-
lwyth dy dad, attat i'r tŷ yma.

19 A phwy bynnag a êl o ddrysau dy dŷ
di allan i'r heol, ei waed ef *fydd* ar ei ben
ei hun, a ninnau *a fyddwn* dïeuog: a
phwy bynnag fyddo gyd â thi yn tŷ, *bydded*
m Mat. 27. 25. [m] ei waed ef ar ein pennau ni, o bydd llaw
arno ef.

20 Ac os mynegi di ein neges hyn, yna y
byddwn dïeuog oddi wrth dy lw â'r hwn y'n
tyngaist.

21 A hi a ddywedodd, Yn ol eich gei-
riau, felly y *byddo* hynny. Yna hi a'u
gollyngodd hwynt; a hwy a aethant ym-
aith. A hi a rwymodd y llinyn coch yn y
ffenestr.

22 A hwy a aethant, ac a ddaethant i'r
mynydd; ac a arhosasant yno dridiau, nes
i'r erlidwŷr ddychwelyd. A'r erlidwŷr a'u
ceisiasant ar hŷd yr holl ffordd; ond ni's
cawsant.

23 ¶ Felly y ddau wr a ddychwelasant,
ac a ddisgynasant o'r mynydd, ac a aethant
drosodd, a daethant at Josua fab Nun; a
mynegasant iddo yr hyn oll a ddigwydd-
asai iddynt:

24 A dywedasant wrth Josua, Yn ddïau'r
ARGLWYDD a roddodd yr holl wlad yn ein
llaw ni; canys holl drigolion y wlad a
† Heb. doddasant. † doddasant rhag ein hofn ni.

PEN. III.

Mawrth 11. P. 1 *Josua yn dyfod i'r Iorddonen.* 2 *Y swydd-
ogion yn dysgu i'r bobl fyned trwodd.* 7 *Yr
Arglwydd yn cysuro Josua.* 9 *Josua yn
cysuro'r bobl.* 14 *Hollti dyfroedd yr Ior-
ddonen.*

1451. A Josua a gyfododd yn fore, a chychwynа-
sant o Sittim, a daethant hyd yr Ior-
ddonen, efe a holl feibion Israel: lletyasant
yno, cyn iddynt fyned drosodd.

2 Ac [a] ym mhen y tridiau, y llywiawd- a Pen. 1. 11.
wŷr a dramwyasant trwy ganol y llu;

3 Ac a orchymynasant i'r bobl, gan
ddywedyd, [b] Pan weloch chwi arch cyf- b Edrych
ammod yr ARGLWYDD eich Duw, a'r Num. 10.
offeiriaid y Lefiaid yn ei dwyn hi; yna 33.
cychwynwch chwi o'ch lle, ac ewch ar ei
hol hi.

4 Etto bydded ennyd rhyngoch chwi a
hithau, ynghylch dwy fil o gufyddau wrth
fesur: na nesêwch atti, fel y gwypoch y
ffordd y rhodioch ynddi: canys ni thram-
wyasoch y ffordd *hon* † o'r blaen. † Heb.

5 A Josua a ddywedodd wrth y bobl, er doe ac
[c] Ymsancteiddiwch: canys y foru y gwna'r echdoe.
ARGLWYDD ryfeddodau yn eich mysg chwi. c Exod. 19. 10. 14, 15.

6 Josua hefyd a lefarodd wrth yr offei- Lef. 20. 7.
riaid, gan ddywedyd, [d] Codwch arch y cyf- Num. 11. 18.
ammod, ac ewch drosodd o flaen y bobl. Pen. 7. 13.
A hwy a godasant arch y cyfammod, ac a 1 Sam. 16. 5.
aethant o flaen y bobl. Joel 2. 16.

7 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth d Num. 4.
Josua, Y dydd hwn y dechreuaf dy fawr- 15.
hâu di yngŵydd holl Israel; fel y gwypent,
mai [e] megis y bûm gyd â Moses, y byddaf e Pen. 1. 5.
gyd â thithau.

8 Am hynny gorchymyn di i'r offeiriaid
sydd yn dwyn arch y cyfammod, gan ddy-
wedyd, Pan ddelych hyd gwrr dyfroedd yr
Iorddonen, sefwch yn yr Iorddonen.

9 ¶ A Josua a ddywedodd wrth feibion
Israel, Nesêwch yma, a gwrandêwch eir-
iau'r ARGLWYDD eich Duw.

10 Josua hefyd a ddywedodd, Wrth hyn
y cewch wybod *fod* y Duw byw yn eich
mysg chwi; a chan yrru y gyrr efe allan y
Canaaneaid, a'r Hethiaid, a'r Hefiaid, a'r
Phereziaid, a'r Girgasiaid, yr Amoriaid
*hefyd*, a'r Jebusiaid, o'ch blaen chwi.

11 Wele, arch cyfammod [f] Arglwydd yr f Adn. 13.
holl ddaear yn myned o'ch blaen chwi i'r Mic. 4. 13. Zec. 4. 14.
Iorddonen. a 6. 5.

12 Gan hynny cymmerwch yn awr ddeu-
ddengwr o lwythau Israel, un gwr o bob
llwyth.

13 A phan orphwyso gwadnau traed yr
offeiriaid, sydd yn dwyn arch ARGLWYDD
IOR yr holl fyd, yn nyfroedd yr Iorddon-
en, *yna* dyfroedd yr Iorddonen a dorrir
ymaith *oddi wrth* y dyfroedd sydd yn
disgyn oddi uchod: hwy a [g] safant yn g Psal. 114.
bentwr. 3.

14 ¶ A phan gychwynodd y bobl o'u
pebyll, i fyned dros yr Iorddonen, a'r offei-
riaid oedd yn dwyn [h] arch y cyfammod o h Act. 7.
flaen y bobl; 45.

15 A phan ddaeth y rhai oedd yn dwyn
yr arch hyd yr Iorddonen, a gwlychu o
draed yr offeiriaid, oedd yn dwyn yr arch,
ynghwrr y dyfroedd (a'r [i] Iorddonen a i 1 Chron.
lanwai dros ei glannau oll [k] holl ddyddiau'r 12. 15.
cynhauaf) Jer. 12. 5. a 49. 19.

16 Yna y dyfroedd, y rhai oedd yn dis- Eccl. 24.
gyn oddi uchod, a safasant; cyfodasant yn 26.
bentwr ym mhell iawn oddi wrth y ddinas k Edrych
Adam, yr hon *sydd* o ystlys [l] Saretan: a'r Pen. 4. 18. a 5. 10.
*dyfroedd* y rhai oedd yn disgyn i fôr y rhos- l 1 Bren. 4.
*sef* i'r [m] môr heli, a ddarfuant, *ac* a dorrwyd 12. a 7. 46.
ymaith. Felly y bobl a aethant drosodd ar m Num. 34.
gyfer Jericho. 3.

17 A'r offeiriaid, y rhai oedd yn dwyn
arch cyfammod yr ARGLWYDD, a safas-
ant ar dir sych, ynghanol yr Iorddonen, yn
‡ daclus: a holl Israel oedd yn myned ‡ ddiysgog.
drosodd ar dir sych, nes darfod i'r holl
genedl fyned trwy'r Iorddonen.

## PEN. IV.

Mawrth 12. B. 1 *Gorchymyn deuddeg o wŷr i gymmeryd deuddeg carreg allan o'r Iorddonen, er coffadwriaeth.* 9 *Gosod deuddeg eraill o gerrig ynghanol yr Iorddonen.* 10, 19 *Y bobl yn myned drwodd.* 14 *Duw yn anrhydeddu Josua.* 20 *Sefydlu'r deuddeg carreg yn Gilgal.*

1451. A Phan ddarfu i'r holl genedl fyned
a Deut. 27. 2. [a] trwy'r Iorddonen, yr Arglwydd a
b Pen. 3. 12. lefarodd wrth [b] Josua, gan ddywedyd,

2 Cymmerwch i chwi ddeuddengwr o'r bobl, un gwr o bob llwyth;

3 A gorchymynwch iddynt, gan ddywedyd, Cymmerwch i chwi oddi yma, o ganol yr Iorddonen, o'r fan y mae traed yr
† *ddiysgog.* offeiriaid yn sefyll yn † daclus, ddeuddeg o gerrig; a dygwch hwynt drosodd gyd â
c Adn. 19, 20. chwi, a gosodwch hwynt yn [c] y lletty y lletyoch ynddo heno.

4 Yna Josua a alwodd am y deuddengwr a barottoisai efe o feibion Israel, un gwr o bob llwyth.

5 A dywedodd Josua wrthynt, Ewch drosodd o flaen arch yr Arglwydd eich Duw, trwy ganol yr Iorddonen; a chodwch i chwi bob un ei garreg ar ei ysgwydd, yn ol rhifedi llwythau meibion Israel:

6 Fel y byddo hyn yn arwydd yn eich mysg chwi, pan ofyno eich meibion chwi
‡ Heb. *y foru.* ‡ yn ol hyn, gan ddywedyd, Beth *y mae*'r cerrig hyn *yn ei arwyddocáu* i chwi?

d Pen. 3. 13, 16. 7 Yna y dywedwch wrthynt, [d] Dorri ymaith ddyfroedd yr Iorddonen o flaen arch cyfammod yr Arglwydd; pan oedd hi yn myned trwy'r Iorddonen, dyfroedd yr Iorddonen a dorrwyd ymaith. Y mae'r cerrig hyn yn goffadwriaeth i feibion Israel byth.

8 A meibion Israel a wnaethant felly fel y gorchymynasai Josua; ac a gymmerasant ddeuddeg carreg o ganol yr Iorddonen, fel y llefarasai'r Arglwydd wrth Josua, yn ol rhifedi llwythau meibion Israel, ac a'u dygasant drosodd gyd â hwynt i'r lletty, ac a'u cyfleasant yno.

9 A Josua a osododd i fynu ddeuddeg carreg ynghanol yr Iorddonen, yn *y* lle'r *oedd* traed yr offeiriaid, oedd yn dwyn arch y cyfammod, yn sefyll: ac y maent yno hyd y dydd hwn.

10 ¶ A'r offeiriaid, y rhai oedd yn dwyn yr arch, a safasant ynghanol yr Iorddonen, nes gorphen pob peth a orchymynasai'r Arglwydd i Josua ei lefaru wrth y bobl, yn ol yr hyn oll a orchymynasai Moses wrth Josua: a'r bobl a frysiasant, ac a aethant drosodd.

11 A phan ddarfu i'r holl bobl fyned drosodd, yna arch yr Arglwydd a aeth drosodd, a'r offeiriaid, yngŵydd y bobl.

e Num. 32. 20, 28. 12 [e] Meibion Reuben *hefyd*, a meibion Gad, a hanner llwyth Manasseh, a aethant drosodd yn arfogion o flaen meibion Israel, fel y llefarasai Moses wrthynt:

13 Ynghylch deugain mil, yn arfogion i ryfel, a aethant drosodd o flaen yr Arglwydd i ryfel, i rosydd Jericho.

14 ¶ Y dydd hwnnw yr Arglwydd
f Pen. 3. 7. [f] a fawrhaodd Josua yngolwg holl Israel; a hwy a'i hofnasant ef, fel yr ofnasant Moses, holl ddyddiau ei einioes.

15 A'r Arglwydd a lefarodd wrth Josua, gan ddywedyd,

16 Gorchymyn i'r offeiriaid, sydd yn dwyn [g] arch y dystiolaeth, ddyfod o honynt g Exod. 25. 16, 22.
i fynu allan o'r Iorddonen.

17 Am hynny Josua a orchymynodd i'r offeiriaid, gan ddywedyd, Deuwch i fynu allan o'r Iorddonen.

18 A phan ddaeth yr offeiriaid, oedd yn dwyn arch cyfammod yr Arglwydd, i fynu o ganol yr Iorddonen, *a* § sengi o § Heb.
wadnau traed yr offeiriaid ar y sychdir; *thynnu i*
yna dyfroedd yr Iorddonen a ddychwelasant *fynu.*
i'w lle, ac a aethant, megis cynt, dros ei holl geulennydd.

19 ¶ A'r bobl a ddaethant i fynu o'r Iorddonen y degfed *dydd* o'r mis cyntaf; ac a wersyllasant yn Gilgal, yn eithaf tu dwyrain Jericho.

20 ¶ A'r deuddeg carreg hynny, y rhai a ddygasent o'r Iorddonen, a sefydlodd Josua yn Gilgal.

21 Ac efe a lefarodd wrth feibion Israel, gan ddywedyd, Pan ofyno eich meibion chwi ‖ yn ol hyn i'w tadau, gan ddywedyd, ‖ Heb. *y*
Beth *yw* y cerrig hyn? *foru.*

22 Yna yr hyspyswch i'ch meibion, gan ddywedyd, Israel a ddaeth trwy'r Iorddonen hon ar dir sych.

23 Canys yr Arglwydd eich Duw chwi a sychodd ddyfroedd yr Iorddonen o'ch blaen chwi, nes i chwi fyned drwodd; megis y gwnaeth yr Arglwydd eich Duw
i'r môr coch, [h] yr hwn a sychodd efe o'n h Exod. 14. 21.
blaen ni, nes i ni fyned drwodd:

24 Fel yr adnabyddo holl bobloedd y ddaear law yr Arglwydd, mai nerthol *yw*;
fel yr ofnoch yr Arglwydd eich Duw † Heb. *yr*
† bob amser. *holl ddyddiau.*

## PEN. V.

1 *Arswyd y Canaaneaid.* 2 *Josua yn adnewyddu'r enwaediad.* 10 *Cadw'r Pasg yn* Mawrth 12. P.
*Gilgal.* 12 *Y manna'n darfod.* 13 *Angel yn ymddangos i Josua.*

PAN [a] glybu holl frenhinoedd yr Amor- 1451.
iaid, y rhai *oedd* o'r tu hwnt i'r Iorddon- a Exod. 15.
en tu a'r gorllewin, a holl frenhinoedd y 14.
Canaaneaid, [b] y rhai *oedd* wrth y môr, sychu b Num. 13.
o'r Arglwydd ddyfroedd yr Iorddonen 29.
o flaen meibion Israel, nes eu myned hwy drwodd; yna y digalonnwyd hwynt, fel nad oedd yspryd mwyach ynddynt, rhag ofn meibion Israel.

2 ¶ Y pryd hynny y dywedodd yr Arglwydd wrth Josua, Gwna it' [c] gyllyll c Exod. 4.
† llymion, ac enwaeda ar feibion Israel 25.
drachefn yr ail waith. † Neu, *o gallestr.*

3 A Josua a wnaeth iddo gyllyll llymion, ac a enwaedodd ar feibion Israel, ‡ ym ‡ Neu, *yn*
mryn y blaen-grwyn. *Gibeahaaraloth.*

4 A dyma'r achos *a wnaeth* i Josua enwaedu: Yr holl bobl, *sef* y gwrrywiaid y rhai a ddaethant o'r Aipht, yr holl ryfelwŷr, a fuasant feirw yn yr anialwch ar y ffordd, wedi eu dyfod allan o'r Aipht.

5 Canys yr holl bobl a'r a ddaethant allan, oedd enwaededig; ond y bobl oll *y rhai a* anesid yn yr anialwch, ar y ffordd, wedi eu dyfod hwy allan o'r Aipht, nid enwaedasent *arnynt.*

6 Canys deugain mlynedd y rhodiasai meibion Israel yn yr anialwch, nes darfod yr holl bobl o'r rhyfelwŷr a ddaethant o'r Aipht, y rhai ni wrandawsent ar lef yr
Arglwydd: [d] y rhai y tyngasai'r Ar- d Num. 14.
glwydd wrthynt, na ddangosai efe iddynt 21, 23.
y wlad a dyngasai'r Arglwydd wrth eu tadau y rhoddai efe i ni; *sef* gwlad yn llifeirio o laeth a mêl.

7 A Josua a enwaedodd ar eu meibion hwy, *y rhai* a gododd yn eu lle hwynt: canys dienwaededig oeddynt hwy, am nad enwaedasid arnynt ar y ffordd.

8 A phan ddarfu enwaedu ar yr holl bobl; yna'r arhosasant yn eu hun-lle, yn y gwersyll, [e] nes eu hiachâu.

[e] Edrych Gen. 34. 25.

9 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Josua, Heddyw y treiglais ymaith [f] waradwydd yr Aipht oddi arnoch: am hynny efe a alwodd enw y lle hwnnw † Gilgal, hyd y dydd heddyw.

[f] Num. 14. 33. Edrych Lef. 18. 3. Pen. 24. 14. Ezec. 20. 7. a 23. 3, 8. 1 Mac. 4. 53. † Sef, *Treigl.*

10 ¶ A meibion Israel a wersyllasant yn Gilgal: a hwy a gynhaliasant y Pasg, [g] ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis, brydnawn, yn rhosydd Jericho.

11 A hwy a fwyttasant o hen ŷd y wlad, drannoeth wedi 'r Pasg, fara croyw, a chrasyd, o fewn corph y dydd hwnnw.

[g] Exod. 12. 6.

12 ¶ [h] A'r manna a beidiodd drannoeth wedi iddynt fwytta o hen ŷd y wlad; a manna ni chafodd meibion Israel mwyach, eithr bwyttasant o gynnyrch gwlad y Canaaneaid y flwyddyn honno.

[h] Exod. 16. 23.

13 ¶ A phan oedd Josua wrth Jericho, yna efe a ddyrchafodd ei lygaid, ac a edrychodd; ac wele, [i] wr yn sefyll gyferbyn ag ef, â'i gleddyf noeth yn ei law. A Josua a aeth atto ef, ac a ddywedodd wrtho, Ai gyd â ni'r *ydwyt* ti, ai gyd â'n gwrthwynebwŷr?

[i] Exod. 23. 23. Zec. 1. 8.

14 Dywedodd yntau, Nag ê; eithr ‡ yn dywysog llu'r ARGLWYDD yn awr y daethum. A Josua a syrthiodd i lawr ar ei wyneb, ac a addolodd; ac a ddywedodd wrtho ef, Beth y mae fy Arglwydd yn ei ddywedyd wrth ei was?

‡ Edrych Exod. 23. 20. Dan. 10. 13, 21. a 12. 1. Dat. 12. 7. a 19. 11, 14.

15 A thywysog llu'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Josua, [k] Dattod dy esgidiau oddi am dy draed; canys y lle yr wyt ti yn sefyll arno, *sydd* sanctaidd. A Josua a wnaeth felly.

[k] Exod. 3. 5. Act. 7. 33.

## PEN. VI.

Mawrth 13. B.

1 *Cau Jericho.* 2 *Duw yn dysgu Josua pa fodd y gwarchaeir arni.* 11 *Amgylchu'r dref.* 17 *Rhaid iddi fod yn ddïofryd-beth.* 20 *Y muriau yn syrthio.* 22 *Arbed Rahab.* 26 *Melldithio adeiladwr Jericho.*

1451. A Jericho oedd gauedig a gwarchaeedig, o herwydd meibion Israel: nid *oedd neb* yn myned allan, nac yn dyfod i mewn.

2 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Josua, Gwel, rhoddais yn dy law di Jericho a'i brenhin, gwŷr grymmus o nerth.

3 A chwi a amgylchwch y ddinas, *chwi* ryfelwŷr oll, gan fyned amgylch y ddinas un waith: gwnewch felly chwe diwrnod.

4 A dyged saith o offeiriaid saith o [a] udgyrn o gyrn hyrddod o flaen yr arch: a'r seithfed dydd yr amgylchwch y ddinas saith waith; a lleisied yr offeiriaid â'r udgyrn.

[a] Edrych Barn. 7. 16, 22.

5 A phan ganer yn hirllaes â chorn yr hwrdd, *a* phan glywoch sain yr udgorn, bloeddied yr holl bobl â bloedd uchel: a syrth mur y ddinas dani hi, ac eled y bobl i fynu bawb ar ei gyfer.

6 ¶ A Josua mab Nun a alwodd yr offeiriaid, ac a ddywedodd wrthynt, Codwch arch y cyfammod; a dyged saith o offeiriaid saith o udgyrn o gyrn hyrddod o flaen arch yr ARGLWYDD.

7 Ac efe a ddywedodd wrth y bobl, Cerddwch, ac amgylchwch y ddinas; a'r hwn sydd arfog, eled o flaen arch yr ARGLWYDD.

8 ¶ A phan ddywedodd Josua wrth y bobl, yna y saith offeiriad, y rhai oedd yn dwyn y saith udgorn o gyrn hyrddod, a gerddasant o flaen yr ARGLWYDD, ac a leisiasant â'r udgyrn: ac arch cyfammod yr ARGLWYDD oedd yn myned ar eu hol hwynt.

9 ¶ A'r rhai arfog oedd yn myned o flaen yr offeiriaid oedd yn lleisio â'r udgyrn; a'r † fyddin olaf oedd yn myned ar ol yr arch, *a'r offeiriaid* yn myned rhagddynt, ac yn lleisio â'r udgyrn.

† Heb. *y fyddin gasgl.*

10 A Josua a orchymynasai i'r bobl, gan ddywedyd, Na floeddiwch, ac na edwch glywed eich llais, ac nac eled gair allan o'ch genau, hyd y dydd y dywedwyf wrthych, Bloeddiwch; yna y bloeddiwch.

11 Felly arch yr ARGLWYDD a amgylchodd y ddinas, gan fyned o'i hamgylch un waith: a daethant i'r gwersyll, a llettyasant yn y gwersyll.

12 ¶ A Josua a gyfododd yn fore; a'r offeiriaid a ddygasant arch yr ARGLWYDD.

13 A'r saith offeiriad, yn dwyn saith o udgyrn o gyrn hyrddod o flaen arch yr ARGLWYDD, oeddynt yn myned dan gerdded, ac yn lleisio â'r udgyrn: a'r rhai arfog oedd yn myned o'u blaen hwynt; a'r fyddin olaf oedd yn myned ar ol arch yr ARGLWYDD, *a'r offeiriaid* yn myned rhagddynt, ac yn lleisio â'r udgyrn.

14 Felly 'r amgylchynasant y ddinas un waith yr ail dydd; a dychwelasant i'r gwersyll: fel hyn y gwnaethant chwe diwrnod.

15 Ac ar y seithfed dydd y cyfodasant yn fore ar godiad y wawr, ac yr amgylchasant y ddinas y modd hwnnw, saith waith: yn unig y dwthwn hwnnw 'r amgylchasant y ddinas seithwaith.

16 A phan leisiodd yr offeiriaid yn eu hudgyrn y seithfed waith, yna Josua a ddywedodd wrth y bobl, Bloeddiwch; canys rhoddodd yr ARGLWYDD y ddinas i chwi.

17 ¶ A'r ddinas fydd yn ‡ ddïofryd-beth, hi, a'r hyn oll *sydd* ynddi, i'r ARGLWYDD: yn unig Rahab y butteinwraig fydd byw, hi a chwbl ag *sydd* gyd â hi yn tŷ; canys [b] hi a guddiodd y cenhadau a anfonasom ni.

‡ *felldigedig.* Mic. 4. 13. [b] Pen. 2. 4.

18 Ac [c] ymgedwch chwithau oddi wrth y dïofryd-beth, rhag eich gwneuthur eich hun yn ddïofryd-beth, os cymmerwch o'r dïofryd-beth: felly y gwnaech wersyll Israel yn ddïofryd-beth, ac y trallodech hi.

[c] Deut. 7. 26. a 13. 17

19 Ond yr holl arian a'r aur, a'r llestri pres a haiarn, *fyddant* § gyssegredig i'r ARGLWYDD: deled *y rhai hynny* i mewn i drysor yr ARGLWYDD.

§ Heb. *sancteiddrwydd.*

20 ¶ A bloeddiodd y bobl, pan leisiasant â'r udgyrn. A phan glybu 'r bobl lais yr udgyrn, yna 'r bobl a waeddasant â bloedd uchel; [d] a'r mur a syrthiodd i lawr oddi tanodd. Felly y bobl a aethant i fynu i'r ddinas, pob un ar ei gyfer, ac a ynnillasant y ddinas.

[d] Heb. 11. 30.

21 A hwy a ddifrodasant yr hyn oll *oedd* yn y ddinas, yn wr ac yn wraig, yn fachgen ac yn henafgwr, yn eidion, ac yn ddafad, ac yn asyn, â min y cleddyf.

22 ¶ A Josua a ddywedodd wrth y ddau

wr a fuasai yn edrych ansawdd y wlad,
Ewch i dŷ'r butteinwraig, a dygwch allan
e Pen. 2. 14. oddi yno y wraig, a'r hyn oll *sydd* iddi, e fel
Heb. 11. 31. y tyngasoch wrthi.
23 Felly y llangciau a fuasai yn edrych *ansawdd y wlad*, a aethant i mewn, ac a ddygasant allan Rahab, a'i thad, a'i mam, a'i brodyr, a chwbl a'r a feddai hi: dygasant allan hefyd ei holl dylwyth hi, a gosodasant hwynt o'r tu allan i wersyll Israel.
24 A llosgasant y ddinas â thân, a'r hyn oll *oedd* ynddi: yn unig yr arian a'r aur, a'r llestri pres a haiarn, a roddasant hwy yn nhrysor yr ARGLWYDD.
25 A Josua a gadwodd yn fyw Rahab y butteinwraig, a thylwyth ei thad, a'r hyn oll *oedd* ganddi; a hi a drigodd ym mysg Israel hyd y dydd hwn: am iddi guddio'r cenhadau a anfonasai Josua i chwilio Jericho.
26 ¶ A Josua a'*u* tynghedodd *hwy* y pryd
f 1 Bren. 16. 34. hynny, gan ddywedyd, f Melldigedig ger
bron yr ARGLWYDD *fyddo*'r gwr a gyfyd
ac a adeilado'r ddinas hon Jericho: yn ei
gyntaf-anedig y seilia efe hi, ac yn ei *fab*
ieuangaf y gesyd efe ei phyrth hi.
27 Felly'r ARGLWYDD oedd gyd â Josua;
ac aeth ei glod ef trwy'r holl wlad.

## PEN. VII.

Mawrth 13. P. 1 *Taro'r Israeliaid wrth Ai.* 6 *Cwyn Josua.* 10 *Duw yn dangos iddo beth a wnai.* 16 *Dala Achan wrth y coelbren:* 19 *ei gyffes:* 22 *ei ddinystrio ef a'r hyn oll oedd iddo, yn nyffryn Achor.*

1451.
a Pen. 22. 20. OND meibion Israel a wnaethant gam-
wedd am y diofryd-beth: canys a Achan
1 Chron. 2. 7. mab Carmi, fab Zabdi, fab Zerah, o lwyth
Judah, a gymmerodd o'r diofryd-beth: ac
ennynodd digllonedd yr ARGLWYDD yn
erbyn meibion Israel.
2 A Josua a anfonodd wŷr o Jericho i Ai,
yr hon *sydd* wrth Bethafen, o du'r dwyrain
i Bethel, ac a lefarodd wrthynt, gan ddywedyd, Ewch i fynu, ac edrychwch y wlad.
A'r gwŷr a aethant i fynu, ac a edrychasant
ansawdd Ai.
3 A hwy a ddychwelasant at Josua, ac a
ddywedasant wrtho, Nac eled yr holl bobl i
fynu; *ond* ynghylch dwy fil o wŷr, neu dair
mil o wŷr, a ant i fynu, ac a darawant Ai:
na phoenwch yr holl bobl yno; canys ychydig *ydynt* hwy.
4 Felly fe a aeth o'r bobl i fynu yno ynghylch tair mil o wŷr: a hwy a ffoisant o
flaen gwŷr Ai.
5 A gwŷr Ai a darawsant ynghylch un
gwr ar bymtheg ar hugain o honynt; ac a'u
hymlidiasant o flaen y porth hyd Sebarim,
† Heb. *Morad.* a tharawsant hwynt yn † y goriwared: am
b Pen. 2. 9, 11. hynny b y toddodd calonnau'r bobl, ac yr
aethant fel dwfr.
6 ¶ A Josua a rwygodd ei ddillad, ac a
syrthiodd i lawr ar ei wyneb o flaen arch
yr ARGLWYDD, hyd yr hwyr, efe a hen-
c 1 Sam. 4. 12. uriaid Israel, ac c a ddodasant lwch ar eu
2 Sam. 13. 19. pennau.
Neh. 9. 1. 7 A dywedodd Josua, Ah, ah, O AR-
Job 2. 12. GLWYDD IOR, i ba beth y dygaist y bobl
yma dros yr Iorddonen, i'n rhoddi ni yn
llaw'r Amoriaid, i'n difetha? O na buasem
foddlon, ac *na* thrigasem tu hwnt i'r Iorddonen!
8 O ARGLWYDD, beth a ddywedaf, pan
dry Israel *ei* warr o flaen ei elynion!
9 Canys y Canaaneaid, a holl drigolion y
wlad, a glywant, ac a'n hamgylchant, ac a
dorrant ymaith ein henw oddi ar y ddaear:
a d pha beth a wnai i'th enw mawr? d Edrych Exod. 32. 12.
10 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth
Josua, Cyfod; pa ham yr ydwyt yn ‡ gor- Num. 14. 13.
wedd fel hyn ar dy wyneb?
11 Israel a bechodd, a throseddasant fy ‡ Heb. *cwympo*
nghyfammod a orchymynais iddynt, cymmerasant hefyd o'r diofryd-beth, ie lladrattasant, a gwadasant; gosodasant hefyd *hynny* ym mysg eu dodrefn eu hun.
12 Am hynny ni ddichon meibion Israel
sefyll yn wyneb eu gelynion, *eithr* troant
*eu* gwarr o flaen eu gelynion; am eu bod
yn ysgymmun-beth: ni byddaf mwyach gyd
â chwi, oni ddifethwch yr ysgymmunbeth
o'ch mysg.
13 Cyfod, sancteiddia'r bobl, a dywed,
e Ymsancteiddiwch erbyn y foru: canys e Pen. 3. 5.
fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW Israel; Diofryd-beth *sydd* yn dy blith di,
O Israel: ni elli sefyll yn wyneb dy elynion, nes tynnu ymaith y diofryd-beth o'ch
mysg.
14 Am hynny nesewch y bore wrth
eich llwythau: a'r llwyth a ddalio'r ARGLWYDD, nesâed bob yn deulu; a'r teulu a
ddalio'r ARGLWYDD, nesâed bob yn dŷ;
a'r tŷ a ddalio'r ARGLWYDD, nesâed bob
yn wr.
15 A'r hwn a ddelir â'r diofryd-beth *ganddo*, a losgir â thân, efe ac oll *sydd* ganddo:
o herwydd iddo droseddu cyfammod yr
ARGLWYDD, ac o herwydd iddo f wneu- f Gen. 34. 7.
thur § ynfydrwydd yn Israel. Barn. 20. 6.
16 ¶ Felly Josua a gyfododd yn fore, ac § Neu, *anwiredd.*
a ddug Israel wrth eu llwythau: a llwyth
Judah a ddaliwyd.
17 Ac efe a ddynesodd deulu Judah; a
daliwyd teulu y Zarhiaid: ac efe a ddynesodd deulu y Zarhiaid bob yn wr; a daliwyd
Zabdi.
18 Ac efe a ddynesodd ei dŷaid ef bob yn
wr; a daliwyd Achan mab Carmi, fab Zabdi, fab Zerah, o lwyth Judah.
19 A Josua a ddywedodd wrth Achan,
Fy mab, attolwg, g dyro ogoniant i AR- g Edrych
GLWYDD DDUW Israel, a chyffesa iddo; a 1 Sam. 6. 5.
mynega yn awr i mi beth a wnaethost: na Jer. 13. 16. Ioan 9. 24.
chela oddi wrthyf.
20 Ac Achan a attebodd Josua, ac a ddywedodd, Yn wir myfi a bechais yn erbyn
ARGLWYDD DDUW Israel; canys fel hyn
ac fel hyn y gwnaethum.
21 Pan welais ym mysg yr yspail fantell
Babilonig dêg, a dau can sicl o arian, ac un
|| llafn aur o ddeg sicl a deugain ei bwys; || Heb. *tafod.*
yna y chwennychais hwynt, ac a'u cymmerais: ac wele hwy yn guddiedig yn
y ddaear ynghanol fy mhabell, a'r arian
danynt.
22 ¶ Yna Josua a anfonodd genhadau;
a hwy a redasant i'r babell: ac wele
hwynt yn guddiedig yn ei babell ef, a'r arian
danynt.
23 Am hynny hwy a'u cymmerasant o
ganol y babell, ac a'u dygasant at Josua, ac
at holl feibion Israel; ac a'u † gosodasant † Heb. *tywalltasant.*
hwy o flaen yr ARGLWYDD.
24 A Josua a gymmerth Achan fab Zerah, a'r arian, a'r fantell, a'r llafn aur, ei
feibion hefyd, a'i ferched, a'i wartheg, a'i
asynod, ei ddefaid hefyd, a'i babell, a'r hyn
oll a feddai efe: a holl Israel gyd ag ef a'u
dygasant hwynt i h ddyffryn Achor. h Adn. 26.
25 A Josua a ddywedodd, Am i ti ein

blino ni, yr ARGLWYDD a'th flina dithau y
[i] Pen. 8. 29. dydd hwn. A holl Israel a'u llabyddiasant
2 Sam. 18. 17. ef â meini, ac a'u llosgasant hwy â thân,
Galar. 3. 53. wedi eu llabyddio â meini.
26 A [i] chodasant arno ef garnedd fawr o
[k] Esay 65. 10. gerrig hyd y dydd hwn. Felly y dychwel-
Hos. 2. 15. odd yr ARGLWYDD oddi wrth lid ei ddig-
† Sef, ofaint: am hynny y gelwir enw y fan honno
*Trallod.* [k] Dyffryn † Achor, hyd y dydd hwn.

## PEN. VIII.

Mawrth 14, B. 1 *Duw yn rhoi cysur yn Josua.* 3 *Y dyfais â'r hwn yr ynnillwyd Ai.* 29 *Crogi ei brenhin hi.* 30 *Josua yn adeiladu allor;* 32 *yn ysgrifenu'r gyfraith ar gerrig;* 33 *yn datgan bendithion a melldithion.*

1451. A'R ARGLWYDD a ddywedodd wrth
[a] Deut. 1. 21. & 7. 18. Josua, [a] Nac ofna, ac na arswyda:
cymmer gyd â thi yr holl bobl o ryfel, a
chyfod, dos i fynu i Ai: gwel, mi a roddais
yn dy law di frenhin Ai, a'i bobl, ei ddinas
hefyd, a'i wlad.
2 A thi a wnai i Ai a'i brenhin, megis y
[b] Pen. 6. 21. gwnaethost i [b] Jericho ac i'w brenhin: etto
[c] ei hanrhaith a'i hanifeiliaid a 'sglyfaeth-
[c] Deut. 20. 14. wch i chwi eich hunain: gosod gynllwyn yn
erbyn y ddinas, o'r tu cefn iddi.
3 ¶ Yna Josua a gyfododd, a'r holl bobl
o ryfel, i fyned i fynu i Ai: a Josua a
ddetholodd ddeng mil ar hugain o wŷr
cedyrn nerthol, ac a'u hanfonodd ymaith
liw nos:
4 Ac efe a orchymynodd iddynt, gan ddy-
[d] Barn. 20. 29. wedyd, Gwelwch, [d] chwi a gynllwynwch yn
erbyn y ddinas, o'r tu cefn i'r ddinas: nac
ewch ym mhell iawn oddi wrth y ddinas,
ond byddwch bawb oll yn barod.
5 Minnau hefyd, a'r holl bobl *sydd* gyd
â mi, a nesâwn at y ddinas: a phan ddelont
allan i'n cyfarfod ni, megis y waith gyntaf,
yna ni a ffown o'u blaen hwynt,
6 (Canys hwy a ddeuant allan ar ein
hol ni) nes i ni eu tynnu hwynt allan o'r
ddinas; oblegid hwy a ddywedant, Ffoi y
maent o'n blaen ni, fel y waith gyntaf:
felly y ffown o'u blaen hwynt.
7 Yna chwi a godwch o'r cynllwyn,
ac a oresgynwch y ddinas: canys yr AR-
GLWYDD eich Duw a'i dyry hi yn eich
llaw chwi.
8 A phan ynnilloch y ddinas, llosgwch y
ddinas â thân: gwnewch yn ol gair yr AR-
GLWYDD. Gwelwch, mi a orchymynais i
chwi.
9 ¶ Felly Josua a'u hanfonodd; a hwy a
aethant i gynllwyn ac a arhosasant rhwng
Bethel ac Ai, o du y gorllewin i Ai: a Josua
a lettyodd y noson honno ym mysg y bobl.
10 A Josua a gyfododd yn fore, ac a
gyfrifodd y bobl; ac a aeth i fynu, efe
a henuriaid Israel, o flaen y bobl, *tu ag*
*at* Ai.
11 A'r holl bobl o ryfel, y rhai *oedd* gyd ag
ef, a aethant i fynu, ac a nesasant; daeth-
ant hefyd gyferbyn a'r ddinas, a gwersyll-
asant o du'r gogledd i Ai: a glynn *oedd*
rhyngddynt hwy ac Ai.
12 Ac efe a gymmerth ynghylch pum mil
o wŷr, ac a'u gosododd hwynt i gynllwyn
† Neu, *Ai.* rhwng Bethel ac Ai, o du'r gorllewin † i'r
ddinas.
13 A'r bobl a osodasant yr holl wersyllau,
y rhai *oedd* o du'r gogledd i'r ddinas, a'r
‡ Heb. *cynllwyn.* ‡ cynllwynwŷr o du'r gorllewin i'r ddinas:
a Josua a aeth y noson honno i ganol y
dyffryn.

14 ¶ A phan welodd brenhin Ai *hynny,*
yna gwŷr y ddinas a frysiasant, ac a fore-
godasant, ac a aethant allan i gyfarfod Is-
rael i ryfel, efe a'i holl bobl, ar amser noded-
ig, ar hyd wyneb y gwastadedd: canys ni
wyddai efe *fod* cynllwyn iddo, o'r tu cefn
i'r ddinas.
15 A Josua a holl Israel, *fel pe* tarawsid
hwy o'u blaen hwynt, a ffoisant ar hŷd yr
anialwch.
16 A'r holl bobl, y rhai *oedd* yn § y ddinas, § *Ai.*
a alwyd ynghŷd, i erlid ar eu hol hwynt: a
hwy a erlidiasant ar ol Josua, ac a dynnwyd
oddi wrth y ddinas.
17 Ac ni adawyd gwr yn Ai, nac *yn* Beth-
el, a'r nad aethant allan ar ol Israel: a ga-
dawsant y ddinas yn agored, ac erlidiasant
ar ol Israel.
18 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth
Josua, Estyn y waywffon *sydd* yn dy law tu
ag at Ai: canys yn dy law di y rhoddaf hi.
A Josua a estynodd y waywffon *oedd* yn ei
law tu a'r ddinas.
19 A'r cynllwynwŷr a gyfodasant yn eb-
rwydd o'u lle, ac a redasant, pan estynodd
efe ei law: daethant hefyd i'r ddinas, ac
ynnillasant hi; ac a frysiasant, ac a losgasant
y ddinas â thân.
20 A gwŷr Ai a droisant yn eu hol, ac a
edrychasant; ac wele, mwg y ddinas a ddyr-
chafodd hyd y nefoedd; ac nid *oedd* gan-
ddynt hwy ‖ nerth i ffoi yma nac accw: ‖ Heb. *law.*
canys y bobl y rhai a ffoisent i'r anialwch,
a ddychwelodd yn erbyn y rhai oedd yn
erlid.
21 A phan welodd Josua a holl Israel i'r
cynllwynwŷr ynnill y ddinas, a dyrchafu o
fwg y ddinas, yna hwy a ddychwelasant, ac
a darawsant wŷr Ai.
22 A'r lleill a aethant allan o'r ddinas
i'w cyfarfod; felly 'r oeddynt ynghanol
Israel, y rhai hyn o'r tu yma, a'r lleill
o'r tu accw: a tharawsant hwynt, fel [e] na [e] Deut, 7. 2.
adawyd *un* yngweddill nac yn ddiangol o
honynt.
23 A brenhin Ai a ddaliasant hwy yn
fyw; a dygasant ef at Josua.
24 Pan ddarfu i Israel ladd holl breswyl-
wŷr Ai yn y maes, yn yr anialwch lle yr
erlidiasent hwynt, a *phan* syrthiasent hwy oll
gan fin y cleddyf, nes eu darfod; yna holl
Israel a ddychwelasant i Ai, a tharawsant
hi â min y cleddyf.
25 A chwbl a'r a syrthiasant y dwthwn
hwnnw, yn wŷr ac yn wragedd, *oeddynt*
ddeuddeng mil; *sef* holl wŷr Ai.
26 Canys ni thynnodd Josua ei law yn ei
hol, yr hon a estynasai efe gyd â'r wayw-
ffon, nes difetha holl drigolion Ai.
27 [f] Yn unig yr anifeiliaid, ac anrhaith [f] Num. 31. 22, 26.
y ddinas, a 'sglyfaethodd yr Israeliaid idd-
ynt eu hun; yn ol gair yr ARGLWYDD, yr
hwn [g] a orchymynasai efe i Josua. [g] Adn. 2.
28 A Josua a losgodd Ai, ac a'i gwnaeth
hi yn garnedd dragywydd, *ac* yn ddiffaeth-
wch hyd y dydd hwn.
29 Ac efe a grogodd frenhin Ai ar bren
hyd yr hwyr: [h] ac wedi machlud haul, y [h] Deut. 21. 23.
gorchymynodd Josua iddynt ddisgyn ei
gelain ef oddi ar y pren, a'i bwrw i ddrws
porth y ddinas: a [i] gosodasant garnedd fawr [i] Pen. 7. 26.
o gerrig arni hyd y dydd hwn.
30 ¶ Yna Josua a adeiladodd allor i
ARGLWYDD DDUW Israel ym mynydd
Ebal,
31 Megis y gorchymynasai Moses gwas

yr Arglwydd i feibion Israel, fel y mae
k Exod. 20. 25. yn ysgrifenedig yn k llyfr cyfraith Moses,
allor o gerrig cyfain, y rhai ni ddyrchafasid
Deut. 27. 5. haiarn arnynt: a hwy a offrymmasant arni
boeth-offrymmau i'r Arglwydd, ac a
aberthasant ebyrth hedd.
l Deut. 27. 2, 8. 32 Ac l efe a 'sgrifenodd yno ar y meini
gopi o gyfraith Moses, yr hon a'sgrifenasai
efe yngŵydd meibion Israel.
33 A holl Israel, a'u henuriaid, eu swyddogion *hefyd*, a'u barnwŷr, oedd yn sefyll
o ddeutu 'r arch, ger bron yr offeiriaid y
Lefiaid, y rhai oedd yn dwyn arch cyfammod yr Arglwydd, yn gystal yr estron
a'r priodor: eu hanner *oedd* ar gyfer mynydd Garizim, a'u hanner ar gyfer mynydd
m Deut. 11. 29. a 27. 12. Ebal; m fel y gorchymynasai Moses gwas
yr Arglwydd o'r blaen fendithio pobl
Israel.
34 Wedi hynny efe a ddarllenodd holl
eiriau 'r gyfraith, y fendith a'r felldith,
yn ol y cwbl *sydd* ysgrifenedig yn llyfr y
gyfraith.
35 Nid oedd air o'r hyn oll a orchymynasai Moses, a'r na's darllenodd Josua ger
n Deut. 31. 12. bron holl gynnulleidfa Israel, n a'r gwragedd, a'r plant, a'r dieithr yr hwn oedd yn
rhodio yn eu mysg hwynt.

## PEN. IX.

Mawrth 14. P. 1 *Y brenhinoedd yn ymwneuthur yn erbyn Israel. 3 Y Gibeoniaid, trwy dwyll, yn cael cyfammod: 23 am yr hyn y condemniwyd hwy i gaethiwed tragywyddol.*

1451. WEDI clywed *hyn* o'r holl frenhinoedd,
y rhai *oedd* o'r tu yma i'r Iorddonen, yn y mynydd, ac yn y gwastadedd, ac
yn holl lannau y môr mawr, a'r gyfer Libanus; *sef* yr Hethiaid, a'r Amoriaid, a'r
Canaaneaid, a'r Phereziaid, a'r Hefiaid, a'r
Jebusiaid;
2 Yna hwy a ymgasglasant ynghŷd i ymladd yn erbyn Josua, ac yn erbyn Israel, o
† Heb. *un genau.* † un-fryd.
3 ¶ A thrigolion Gibeon a glywsant yr
hyn a wnaethai Josua i Jericho ac i Ai.
4 A hwy a wnaethant yn gyfrwys, ac a
aethant, ac a ymddangosasant fel cenhadon:
cymmerasant hefyd hen sachlennau ar eu
hasynod, a hen gostrelau gwin, wedi eu
hollti hefyd, ac wedi eu rhwymo,
‡ *clytiog.* 5 A hen esgidiau ‡ baglog am eu traed, a
hen ddillad am danynt; a holl fara eu
lluniaeth oedd sych *a* brithlwyd.
6 Ac a aethant at Josua i'r gwersyll i
Gilgal; a dywedasant wrtho ef, ac wrth wŷr
Israel, O wlad bell y daethom: ac yn awr
gwnewch gyfammod â ni.
7 A gwŷr Israel a ddywedasant wrth yr
Hefiaid, Nid hwyrach dy fod yn ein mysg
a Exod. 23. 32. yn trigo; a pa fodd gan hynny y gwnaf gyfammod â thi?
8 A hwy a ddywedasant wrth Josua, Dy
weision di *ydym* ni. A Josua a ddywedodd
wrthynt, Pwy *ydych?* ac o ba le y daethoch?
9 A hwy a ddywedasant wrtho, Dy
weision a ddaethant o wlad bell iawn, o
herwydd enw 'r Arglwydd dy Dduw:
canys ni a glywsom ei glod ef, a'r hyn oll a
wnaeth efe yn yr Aipht;
b Num. 21. 24, 33. 10 b A'r hyn oll a wnaeth efe i ddau
frenhin yr Amoriaid, y rhai *oedd* o'r tu
hwnt i'r Iorddonen; i Sehon brenhin Hesbon, ac i Og brenhin Basan, yr hwn *oedd* yn
Astaroth.

11 Am hynny ein henuriaid ni, a holl
breswylwŷr ein gwlad, a lefarasant wrthym ni, gan ddywedyd, Cymmerwch luniaeth § gyd â chwi i'r daith, ac ewch i'w § Heb. *yn eich llaw.*
cyfarfod hwynt; a dywedwch wrthynt, Eich
gweision ydym: yn awr gan hynny gwnewch
gyfammod â ni.
12 Dyma ein bara ni: yn frwd y cymmerasom ef yn lluniaeth o'n tai y dydd y
cychwynasom i ddyfod attoch; ac yn awr,
wele, sych a brithlwyd yw.
13 Dyma hefyd y costrelau gwin a lanwasom yn newyddion; ac wele, hwynt wedi
hollti: ein dillad hyn hefyd a'n hesgidiau a
heneiddiasant, rhag meithied y daith.
14 A'r gwŷr a ‖ gymmerasant o'u hymborth hwynt, ac nid ymgynghorasant â ‖ Neu, *ddérbyniasant y gwŷr er mwyn eu hymborth.*
genau 'r Arglwydd.
15 Felly Josua a wnaeth heddwch â
hwynt, ac a wnaeth gyfammod â hwynt, ar
eu cadw hwynt yn fyw: tywysogion y gynnulleidfa *hefyd* a dyngasant wrthynt.
16 Ond ym mhen y tridiau wedi iddynt
wneuthur cyfammod â hwynt, hwy a glywsant mai cymmydogion iddynt *oeddynt* hwy,
ac *mai* yn eu mysg yr oeddynt yn aros.
17 A meibion Israel a gychwynasant, ac
a ddaethant i'w dinasoedd hwynt y trydydd
dydd: a'u dinasoedd hwynt *oedd* Gibeon,
a Chephirah, Beeroth *hefyd*, a Chiriathjearim.
18 Ond ni tharawodd meibion Israel mo
honynt hwy; oblegid tywysogion y gynnulleidfa a dyngasai wrthynt myn Arglwydd Dduw Israel: a'r holl gynnulleidfa a rwgnachasant yn erbyn y tywysogion.
19 A'r holl dywysogion a ddywedasant
wrth yr holl gynnulleidfa, Ni a dyngasom
wrthynt i Arglwydd Dduw Israel: am
hynny ni allwn ni yn awr gyffwrdd â
hwynt.
20 Hyn a wnawn ni iddynt hwy: Cadwn
hwynt yn fyw, fel na byddo c digofaint c Edrych 2 Sam. 21. 1, 6.
arnom ni; o herwydd y llw a dyngasom
wrthynt.
21 A'r tywysogion a ddywedasant wrthynt, Byddant fyw (ond byddant d yn torri d Deut. 29. 11.
cynnud, ac yn tynnu dwfr i'r holl gynnulleidfa) fel e y dywedasai 'r tywysogion wrthynt. e Adn. 15.
22 ¶ Yna Josua a alwodd arnynt; ac a
lefarodd wrthynt, gan ddywedyd, Pa ham y
twyllasoch ni, gan ddywedyd, Pell iawn
*ydym* ni oddi wrthych; a chwithau yn preswylio yn ein mysg ni?
23 Yn awr gan hynny melldigedig ydych;
ac ni ddiangc un o honoch rhag bod yn
*gaeth*-weision, ac yn torri cynnud, ac yn
tynnu dwfr i dŷ fy Nuw.
24 A hwy a attebasant Josua, ac a ddywedasant, Yn ddïau gan fynegi y mynegwyd i'th weision, ddarfod i'r Arglwydd
dy Dduw f orchymyn i Moses ei was roddi f Deut. 7. 1, 2.
i chwi yr holl wlad hon, a difetha holl
drigolion y wlad o'ch blaen chwi; am
hynny yr ofnasom ni yn ddirfawr rhagoch
am ein heinioes, ac y gwnaethom y peth
hyn.
25 Ac yn awr, wele, ni yn dy law di: fel
*y byddo* da ac union yn dy olwg wneuthur
i ni, gwna.
26 Ac felly y gwnaeth efe iddynt; ac a'u
gwaredodd hwynt o law meibion Israel, fel
na laddasant hwynt.
27 A Josua a'u rhoddodd hwynt y dwthwn

hwnnw yn gymmynwŷr coed, ac yn wehynwŷr dwfr, i'r gynnulleidfa, ac i allor yr ARGLWYDD, hyd y dydd hwn, yn y lle a ddewisai efe.

## PEN. X.

Sul 1 ar ol y Drindod, B. Mawrth 15. B.

*5 Pum brenhin yn rhyfela yn erbyn Gibeon. 7 Josua yn ei hachub hi. 10 Duw yn ymladd yn eu herbyn hwynt â chenllysg. 12 Yr haul a'r lleuad yn sefyll ar air Josua. 18 Cau ar y pum brenhin mewn ogof. 23 Eu dwyn allan; 24 eu diystyru, 26 a'u crogi. 28 Gorchfygu saith brenhin ychwaneg. 43 Josua yn dychwelyd i Gilgal.*

1451. A Phan glybu Adonisedec brenhin Jerusalem i Josua ynnill Ai, a'i difrodi hi, (a fel y gwnelsai efe i Jericho ac i'w brenhin, felly y gwnaethai efe i b Ai ac i'w brenhin) a heddychu o drigolion Gibeon ag Israel, a'u bod yn eu mysg hwynt:

a Pen. 6. 15. b Pen. 8. 3.

2 Yna yr ofnasant yn ddirfawr; oblegid dinas fawr *oedd* Gibeon, fel un † o'r dinasoedd brenhinol; ac o herwydd ei *bod* yn fwy nag Ai; ei holl wŷr hefyd *oedd* gedyrn.

† Heb. *o ddinasoedd y frenhiniaeth.*

3 Am hynny Adonisedec brenhin Jerusalem a anfonodd at Hoham brenhin Hebron, ac at Piram brenhin Jarmuth, ac at Japhia brenhin Lachis, ac at Ddebir brenhin Eglon, gan ddywedyd,

4 Deuwch i fynu attaf fi, a chynnorthwywch fi, fel y tarawom ni Gibeon: canys hi a heddychodd â Josua, ac â meibion Israel.

5 Am hynny pum brenhin yr Amoriaid a ymgynnullasant, ac a ddaethant i fynu, *sef* brenhin Jerusalem, brenhin Hebron, brenhin Jarmuth, brenhin Lachis, *a* brenhin Eglon, hwynt-hwy a'u holl fyddinoedd, ac a wersyllasant wrth Gibeon, ac a ryfelasant yn ei herbyn hi.

6 ¶ A gwŷr Gibeon a anfonasant at Josua i'r gwersyll i Gilgal, gan ddywedyd, Na thynn ymaith dy ddwylaw oddi wrth dy weision; tyred i fynu yn fuan attom ni, achub ni *hefyd*, a chynnorthwya ni: canys holl frenhinoedd yr Amoriaid, y rhai sydd yn trigo yn y mynydd-dir, a ymgynnullasant i'n herbyn ni.

7 Felly Josua a esgynodd o Gilgal, efe a'r holl bobl o ryfel gyd ag ef, a'r holl gedyrn nerthol.

8 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Josua, Nac ofna rhagddynt: canys yn dy law di y rhoddais hwynt; ni saif neb o honynt yn dy wyneb di.

9 Josua gan hynny a ddaeth yn ddïattreg attynt hwy: *canys* ar hŷd y nos yr aeth efe i fynu o Gilgal.

c Esay 28. 21.

10 A'r ARGLWYDD c a'u drylliodd hwynt o flaen Israel, ac a'u tarawodd hwynt â lladdfa fawr yn Gibeon, ac a'u hymlidiodd hwynt ffordd yr eir i fynu i Beth-horon, ac a'u tarawodd hwynt hyd Azecah, ac hyd Maccedah.

11 A phan oeddynt yn ffoi o flaen Israel, *a* hwy yngoriwared Beth-horon, yr ARGLWYDD a fwriodd arnynt hwy gerrig mawrion o'r nefoedd hyd Azecah; a buant feirw: amlach *oedd* y rhai a fu feirw gan y cerrig cenllysg, nâ'*r rhai* a laddodd meibion Israel â'r cleddyf.

d Esay 28. 21. Hab. 3. 11. Ecel. 46. 4. ‡ Heb. *distawa.*

12 ¶ Llefarodd Josua wrth yr ARGLWYDD y dydd y rhoddodd yr ARGLWYDD yr Amoriaid o flaen meibion Israel; ac efe a ddywedodd yngolwg Israel, d O haul, ‡ aros yn Gibeon; a thithau, leuad, yn nyffryn Ajalon.

13 A'r haul a arhosodd, a'r lleuad a safodd, nes i'r genedl ddial ar eu gelynion. Onid *yw* hyn e yn ysgrifenedig yn llyfr § yr e 2 Sam. 1.
uniawn? Felly yr haul a safodd ynghanol y 18.
nefoedd, ac ni frysiodd i fachludo dros ddi- § *Jasar.*
wrnod cyfan.

14 Ac ni bu y fath ddiwrnod a hwnnw o'i flaen ef, nac ar ei ol ef, fel y gwrandawai 'r ARGLWYDD ar lef dyn: canys yr ARGLWYDD a ymladdodd dros Israel.

15 ¶ f A Josua a ddychwelodd, a holl f Adn. 4. 1.
Israel gyd ag ef, i'r gwersyll i Gilgal.

16 Ond y pum brenhin hynny a ffoisant, ac a ymguddiasant mewn ogof ym Maccedah.

17 A mynegwyd i Josua, gan ddywedyd, Y pum brenhin a gafwyd ynghudd mewn ogof ym Maccedah.

18 A dywedodd Josua, Treiglwch feini mawrion ar enau 'r ogof, a gosodwch wrthi wŷr i'w cadw hwynt.

19 Ac na sefwch chwi; erlidiwch ar ol eich gelynion, a || tharêwch y rhai olaf o || Heb.
honynt; na adêwch iddynt fyned i'w di- *chynffonniwch*
nasoedd; canys yr ARGLWYDD eich Duw *hwynt.*
a'u rhoddodd hwynt yn eich llaw chwi.

20 A phan ddarfu i Josua a meibion Israel eu taro hwynt â lladdfa fawr iawn, nes eu difa; yna y gweddillion a adawsid o honynt a aethant i'r dinasoedd caerog.

21 A'r holl bobl a ddychwelasant i'r gwersyll at Josua ym Maccedah mewn heddwch, g heb symmud o neb ei dafod yn erbyn g Exod. 11.
meibion Israel. 7.

22 A Josua a ddywedodd, Agorwch enau 'r ogof, a dygwch allan y pum brenhin hynny attaf fi o'r ogof.

23 A hwy a wnaethant felly, ac a ddygasant allan y pum brenhin atto ef o'r ogof; *sef* brenhin Jerusalem, brenhin Hebron, brenhin Jarmuth, brenhin Lachis, *a* brenhin Eglon.

24 A phan ddygasant hwy 'r brenhinoedd hynny at Josua, yna Josua a alwodd am holl wŷr Israel, ac a ddywedodd wrth dywysogion y rhyfelwŷr, y rhai a aethai gyd ag ef, Nesêwch, gosodwch eich traed ar yddfau 'r brenhinoedd hyn. A hwy a nesasant, ac a osodasant eu traed ar eu gyddfau hwynt.

25 A Josua a ddywedodd wrthynt, Nac ofnwch, ac nac arswydwch; *eithr* ymwrolwch, ac ymegnïwch: canys fel hyn y gwna 'r ARGLWYDD i'ch holl elynion yr ydych chwi yn ymladd i'w herbyn.

26 Ac wedi hyn Josua a'u tarawodd hwynt, ac a'u rhoddodd i farwolaeth, ac a'u crogodd hwynt ar bùm pren: a buant ynghrôg ar y prennau h hyd yr hwyr. h Pen. 8.

27 Ac ym mhryd machludo haul, y gor- 29.
chymynodd Josua iddynt eu i disgyn hwynt i Deut. 21.
oddi ar y prennau, a'u bwrw hwynt i'r 23.
ogof yr ymguddiasant ynddi; a bwriasant Pen. 8. 29.
gerrig mawrion yngenau 'r ogof, *y rhai sydd yno* hyd gorph y dydd hwn.

28 ¶ Josua hefyd a ynnillodd Maccedah y dwthwn hwnnw, ac a'i tarawodd hi â min y cleddyf, ac a ddifrododd ei brenhin hi, hwynt-hwy, a phob enaid ag *oedd* ynddi; ni adawodd efe *un* gweddill: canys efe a wnaeth i frenhin Maccedah, k fel y gwnaeth- k Pen. 8.
ai i frenhin Jericho. 21.

29 ¶ Yna yr aeth Josua a holl Israel gyd

ag ef o Maccedah i Libnah, ac a ymladdodd yn erbyn Libnah.

30 A'r ARGLWYDD a'i rhoddodd hithau, a'i brenhin, yn llaw Israel; ac yntau a'i tarawodd hi â min y cleddyf, a phob enaid a'*r oedd* ynddi; ni adawodd ynddi *un* yngweddill: canys efe a wnaeth i'w brenhin hi fel y gwnelsai i frenhin Jericho.

31 ¶ A Josua a dramwyodd, a holl Israel gyd ag ef, o Libnah i Lachis; ac a wersyllodd wrthi, ac a ymladdodd i'w herbyn.

32 A'r ARGLWYDD a roddodd Lachis yn llaw Israel; yr hwn a'i hynnillodd hi yr ail dydd, ac a'i tarawodd hi â min y cleddyf, a phob enaid ag *oedd* ynddi, yn ol yr hyn oll a wnaethai efe i Libnah.

33 ¶ Yna Horam brenhin Gezer a ddaeth i fynu i gynnorthwyo Lachis: a Josua a'i tarawodd ef a'i bobl, fel na adawyd iddo ef *un* yngweddill.

34 ¶ A Josua a dramwyodd, a holl Israel gyd ag ef, o Lachis i Eglon: a hwy a wersyllasant wrthi, ac a ymladdasant i'w herbyn.

35 A hwy a'i hynnillasant hi y diwrnod hwnnw, ac a'i tarawsant hi â min y cleddyf; ac efe a ddifrododd bob enaid a'*r oedd* ynddi y dwthwn hwnnw, yn ol yr hyn oll a wnaethai efe i Lachis.

36 ¶ A Josua a esgynodd, a holl Israel gyd ag ef, o Eglon i [l] Hebron; a hwy a ryfelasant i'w herbyn.

l Edrych Pen. 14. 13. a 15. 13.

37 A hwy a'i hynnillasant hi, ac a'i tarawsant hi â min y cleddyf, a'i brenhin, a'i holl ddinasoedd, a phob enaid ag *oedd* ynddi; ni adawodd efe *un* yngweddill, yn ol yr hyn oll a wnaethai efe i Eglon: canys efe a'i difrododd hi, a phob enaid ag *oedd* ynddi.

38 ¶ A Josua a ddychwelodd, a holl Israel gyd ag ef, i [m] Ddebir; ac a ymladdodd i'w herbyn.

m Pen. 15. 15.

39 Ac efe a'i hynnillodd hi, ei brenhin, a'i holl ddinasoedd; a hwy a'u tarawsant hwy â min y cleddyf, ac a ddifrodasant bob enaid ag *oedd* ynddi; ni adawodd efe *un* yngweddill: fel y gwnaethai efe i Hebron, felly y gwnaeth efe i Ddebir, ac i'w brenhin; megis y gwnelsai efe i Libnah, ac i'w brenhin.

40 ¶ Felly y tarawodd Josua yr holl fynydd-dir, a'r dehau, y gwastadedd *hefyd*, a'r † bronnydd, a'u holl frenhinoedd: ni adawodd efe *un* yngweddill; eithr efe a ddifrododd bob perchen anadl, fel [n] y gorchymynasai ARGLWYDD DDUW Israel.

† Neu, *ffynhonnau.*
n Deut. 20. 16, 17.

41 A Josua a'u tarawodd hwynt o Cades-Barnea, hyd Gazah, [o] a holl wlad Gosen, hyd Gibeon.

o Pen. 11. 16.

42 Yr holl frenhinoedd hyn *hefyd* a'u gwledydd a ynnillodd Josua ar unwaith: canys ARGLWYDD DDUW Israel oedd yn ymladd dros Israel.

43 Yna y dychwelodd Josua, a holl Israel gyd ag ef, i'r gwersyll yn Gilgal.

## PEN. XI.

5 *Gorchfygu amryw frenhinoedd wrth ddyfroedd Merom.* 10 *Ynnill Hasor, a'i llosgi.* 16 *Josua yn goresgyn yr holl wlad;* 21 *ac yn torri ymaith yr Anaciaid.*

1450. A Phan glybu Jabin brenhin Hasor *y pethau hynny*, efe a anfonodd at Jobab brenhin Madon, ac at frenhin Simron, ac at frenhin Achsaph,

2 Ac at y brenhinoedd *oedd* o du 'r gogledd yn y mynydd-dir, ac yn y rhosdir *tu a'r* dehau i Cinneroth, ac yn y dyffryn, ac yn ardaloedd Dor tu a'r gorllewin;

3 *At* y Canaaneaid o'r dwyrain a'r gorllewin, ac at yr Amoriaid, a'r Hethiaid, a'r Pheresiaid, a'r Jebusiaid, yn y mynydd-dir, ac *at* yr Hefiaid dan Hermon, yngwlad Mispeh.

4 A hwy a aethant allan, a'u holl fyddinoedd gyd â hwynt, pobl lawer, fel y tywod *sydd* ar fin y môr o amldra; meirch hefyd a cherbydau lawer iawn.

5 A'r holl frenhinoedd hyn a † ymgyfarfuant; daethant hefyd a gwersyllasant ynghyd wrth ddyfroedd Merom, i ymladd yn erbyn Israel.

† Heb. *a ymbuynt-manasant.*

6 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Josua, Nac ofna rhagddynt hwy: canys y foru ynghylch y pryd hyn y rhoddaf hwynt oll yn lladdedig o flaen Israel: [a] llinynnau garrau eu meirch hwynt a dorri, a'u cerbydau a losgi di â thân.

a 2 Sam. 8. 4.

7 Felly Josua a ddaeth, a'r holl bobl o ryfel gyd ag ef, yn ddisymmwth arnynt hwy wrth ddyfroedd Merom; a hwy a ruthrasant arnynt.

8 A'r ARGLWYDD a'u rhoddodd hwynt yn llaw Israel; a hwy a'u tarawsant hwynt, ac a'u herlidiasant hyd ‡ Sidon fawr, ac hyd § Misrephoth-maim, ac hyd glynn Mispeh o du 'r dwyrain; a hwy a'u tarawsant hwynt, fel na adawodd efe o honynt *un* yngweddill.

‡ Neu, *Rabbah.*
§ Neu, *pyllau halen.* Heb. *llosgiad dyfroedd.*

9 A Josua a wnaeth iddynt fel yr archasai 'r ARGLWYDD iddo: llinynnau garrau eu meirch hwynt a dorrodd efe, a'u cerbydau a losgodd â thân.

10 ¶ A Josua y pryd hynny a ddychwelodd, ac a ynnillodd Hasor, ac a darawodd ei brenhin hi â'r cleddyf: canys Hasor o'r blaen oedd ben yr holl deyrnasoedd hynny.

11 Tarawsant hefyd bob enaid a'*r oedd* ynddi â min y cleddyf, gan *eu* difrodi *hwynt*: ni adawyd un perchen anadl: ac efe a losgodd Hasor â thân.

12 A holl ddinasoedd y brenhinoedd hynny, a'u holl frenhinoedd hwynt, a ynnillodd Josua, *ac* a'u tarawodd â min y cleddyf, gan eu difrodi hwynt: [b] megis y gorchymynasai Moses gwas yr ARGLWYDD.

b Num. 33. 52. Deut. 7. 2. a 20. 16, 17.

13 Ond ni losgodd Israel yr un o'r dinasoedd oedd yn sefyll ‖ yn eu cadernid; namyn Hasor yn unig a losgodd Josua.

‖ Heb. *ar eu pentwr.*

14 A holl anrhaith y dinasoedd hynny, a'r anifeiliaid, a 'sglyfaethodd meibion Israel iddynt eu hun: yn unig pob dyn a darawsant hwy â min y cleddyf, nes iddynt eu difetha; ni adawsant berchen anadl.

15 ¶ [c] Fel y gorchymynasai 'r ARGLWYDD i Moses ei was, [d] felly y gorchymynodd Moses i Josua, ac felly y gwnaeth Josua; ni † adawodd efe ddim o'r hyn oll a orchymynasai 'r ARGLWYDD i Moses.

c Exod. 34. 11.
d Deut. 7. 2.
† Heb. *symmudodd.*

16 Felly Josua a ynnillodd yr holl dir hwnnw, y mynyddoedd, a'r holl ddehau, a holl wlad Gosen, a'r dyffryn, a'r gwastadedd, a mynydd Israel, a'i ddyffryn;

17 ‡ O fynydd Halac, yr hwn sydd yn myned i fynu i Seir, hyd Baal-Gad, ynglynn Libanus, dan fynydd Hermon: a'u holl frenhinoedd hwynt a ddaliodd efe; tarawodd hwynt hefyd, ac a'u rhoddodd i farwolaeth.

‡ Neu, *Or mynydd llyfn.*

18 Josua a gynhaliodd ryfel yn erbyn yr holl frenhinoedd hynny § ddyddiau lawer.

§ Hyd 1445, adn. 23.

19 Nid oedd dinas a'r a heddychodd â
[e] Pen. 9. 3. meibion Israel, heb law [e] 'r Hefiaid pres-
wylwŷr Gibeon; yr holl rai *eraill* a ynnill-
asant hwy trwy ryfel.
[f] Deut. 2. 30. 20 Canys [f] o'r ARGLWYDD yr ydoedd
galedu eu calon hwynt i gyfarfod ag Israel
mewn rhyfel, fel y difrodai efe hwynt, *ac*
na fyddai iddynt drugaredd; ond fel y di-
[g] Deut. 20. 16, 17. fethai efe hwynt, [g] fel y gorchymynasai'r
ARGLWYDD wrth Moses.
21 ¶ A'r pryd hynny y daeth Josua ac a
[h] Num. 13. 22, 33. dorrodd [h] yr Anaciaid ymaith o'r mynydd-
Deut. 1. 28. dir, o Hebron, o Ddebir, o Anab, ac o holl
fynyddoedd Judah, ac o holl fynyddoedd
Israel: Josua a'u difrododd hwynt a'u di-
nasoedd.
22 Ni adawyd *un* o'r Anaciaid yngwlâd
meibion Israel: yn unig yn Gazah, yn Gath,
ac yn Asdod, y gadawyd hwynt.
23 Felly Josua a ynnillodd yr holl wlad,
yn ol yr hyn oll a lefarasai'r ARGLWYDD
wrth Moses; a Josua a'i rhoddodd hi yn
[i] Num. 26. 53. etifeddiaeth i Israel, [i] yn ol eu rhannau
hwynt, trwy eu llwythau. [k] A'r wlad a or-
1445. phwysodd heb ryfel.
[k] Pen. 14. 15. a 21. 43. a 22. 4. a 23. 1.

PEN. XII.

1 *Y ddau frenhin a ynnillodd Moses eu gwled-*
*ydd, ac a'u rhannodd. 7 Yr 31 o frenhin-*
*oedd o'r tu arall i'r Iorddonen, y rhai a*
*darawodd Josua.*

DYMA frenhinoedd y wlad, y rhai a
darawodd meibion Israel, ac a fedd-
iannasant eu gwlad hwynt o'r tu hwnt i'r
Iorddonen tu a chodiad yr haul; o afon
Arnon hyd fynydd Hermon, a'r holl was-
tadedd tu a'r dwyrain:
1452. 2 [a] Sehon brenhin yr Amoriaid, yr hwn
[a] Num. 21. 24. oedd yn trigo yn Hesbon, *ac* yn arglwydd-
Deut. 2. 36. iaethu o Aroer, yr hon *sydd* ar fin yr afon
a 3. 6, 16. Arnon, ac o ganol yr afon, ac o hanner
Gilead hyd yr afon Jabboc, *ym* mro meibion
Ammon;
[b] Deut. 3. 17. 3 Ac [b] o'r gwastadedd hyd fôr Cinne-
roth o du'r dwyrain, ac hyd fôr y gwas-
tadedd, *sef* y môr heli, o du'r dwyrain, tu
† Neu, *du Teman.* a Beth-jesimoth; ac o † du'r dehau, dan
‡ [c] Asdoth-Pisgah:
‡ Neu, *ffynnonnau Pisgah*, neu, *y bryn.* 4 A goror Og brenhin Basan, *yr hwn oedd*
o [d] weddill y cawri, ac [e] oedd yn trigo yn
Astaroth ac yn Edrei;
5 Ac efe oedd yn arglwyddiaethu ym
[c] Deut. 3. 17. a 4. 49. mynydd Hermon, ac yn Salchah, ac yn holl
Basan, hyd derfyn y Gesuriaid, a'r Maa-
[d] Deut. 3. 11. chathiaid, a hanner Gilead, terfyn Sehon
Pen. 13. 12. brenhin Hesbon.
[e] Deut. 1. 4. 6 Moses gwas yr ARGLWYDD a meib-
[f] Num. 21. 24, 33. ion Israel [f] a'u tarawsant hwy: a [g] Moses
gwas yr ARGLWYDD a'i rhoddodd hi *yn*
[g] Num. 32. 29, 33. etifeddiaeth i'r Reubeniaid, ac i'r Gadiaid,
Deut. 3. 12. ac i hanner llwyth Manasseh.
Pen. 13. 8. 7 ¶ Dyma hefyd frenhinoedd y wlad
y rhai a darawodd Josua a meibion Israel
o'r tu yma i'r Iorddonen o du y gor-
llewin, o Baal-Gad, ynglynn Libanus, hyd
[h] Pen. 10. 40. a 11. 17. [h] fynydd Halac, yr hwn sydd yn myned
i fynu i Seir; a Josua a'i rhoddodd hi i
lwythau Israel *yn* etifeddiaeth yn ol eu
rhannau;
8 Yn y mynydd, ac yn y dyffryn, ac yn
§ *ffynhonnau.* y gwastadedd, ac yn y § bronnydd, ac yn
yr anialwch, ac yn y dehau; yr Hethiaid,
yr Amoriaid, a'r Canaaneaid, y Phereziaid,
1451. yr Hefiaid, a'r Jebusiaid:
[i] Pen. 6. 2. 9 ¶ [i] Brenhin Jericho, yn un; [k] brenhin
[k] Pen. 8. 29. Ai, yr hwn *oedd* o ystlys Bethel, yn un;
10 [l] Brenhin Jerusalem, yn un; brenhin [l] Pen. 10. 23.
Hebron, yn un;
11 Brenhin Jarmuth, yn un; brenhin
Lachis, yn un;
12 Brenhin Eglon, yn un; [m] brenhin [m] Pen. 10. 33.
Gezer, yn un;
13 [n] Brenhin Debir, yn un; brenhin Ge- [n] Pen. 10. 38.
der, yn un;
14 Brenhin Hormah, yn un; brenhin
Arad, yn un;
15 [o] Brenhin Libnah, yn un; brenhin [o] Pen. 10. 29.
Adùlam, yn un;
16 [p] Brenhin Maccedah, yn un; [q] bren- [p] Pen. 10. 28.
hin Bethel, yn un;
17 Brenhin Tappuah, yn un; brenhin [q] Pen. 8. 17.
Hepher, yn un;
18 Brenhin Aphec, yn un; brenhin ‖ La- ‖ Neu, *Saron.*
saron, yn un;
19 Brenhin Madon, yn un; [r] brenhin [r] Pen. 11. 10.
Hasor, yn un; 1450.
20 [s] Brenhin Simron Meron, yn un; [s] Pen. 11. 1. a 19. 15.
brenhin Achsaph, yn un;
21 Brenhin Taanach, yn un; brenhin Me-
gìdo, yn un;
22 [t] Brenhin Cades, yn un; brenhin Joc- [t] Pen. 19. 37.
neam o Carmel, yn un;
23 Brenhin Dor yn ardal Dor, yn un;
brenhin [u] y cenhedloedd o Gilgal, yn un; [u] Gen. 14. 1, 2.
24 Brenhin Tirsah, yn un: yr holl fren- Esay 9. 1.
hinoedd *oedd* un ar ddeg ar hugain.

PEN. XIII.

2 *Terfynau'r wlad ni orchfygesid etto. 8 Eti-*
*feddiaeth y ddau lwyth a hanner. 14, 33 Yr*
*Arglwydd a'i aberthau yw etifeddiaeth Lefi.*
*15 Terfynau etifeddiaeth Reuben. 22 Lladd*
*Balaam. 24 Terfynau etifeddiaeth Gad. 29*
*a hanner llwyth Manasseh.*

A Phan [a] heneiddiodd Josua, *a* phwyso 1445.
o hono mewn oedran, dywedodd yr [a] Pen. 14. 10.
ARGLWYDD wrtho ef, Tydi a heneiddiaist,
daethost i ddyddiau *oedrannus*, a thir lawer
iawn sydd etto i'w feddiannu.
2 [b] Dyma'r wlad sydd etto yn ol: holl [b] Barn. 3. 3.
derfynau'r Philistiaid, a holl Gesuri,
3 O Sihor, yr hon *sydd* o flaen yr Aipht,
hyd derfyn Ecron tu a'r gogledd, *yr hwn*
a gyfrifir i'r Canaaneaid: [c] pum tywysog y [c] Seph. 2. 5.
Philistiaid; y Gazathiaid, a'r Asdodiaid, yr
Escaloniaid, y Githiaid, yr Ecroniaid; [d] yr [d] Deut. 2. 23.
Afiaid:
4 O'r dehau, holl wlad y Canaaneaid, a'r
† ogof *oedd* yn ymyl y Sidoniaid, hyd A- † *Mearah.*
phec, hyd derfyn [e] yr Amoriaid: [e] Edrych
5 A gwlad [f] y Gibliaid, a holl Libanus, tu Barn. 1. 34.
a chyfodiad haul, o Baal-Gad dan fynydd [f] 1 Bren. 5. 18.
Hermon, nes dyfod i Hamath. Psal. 83. 7.
6 Holl breswylwŷr y mynydd-*dir* o Li-
banus hyd [g] Misrephoth-maim, *a'r* holl Si- [g] Pen. 11. 8.
doniaid, y rhai hynny a yrraf ymaith o flaen
meibion Israel: yn unig rhan di hi wrth
goelbren i Israel yn etifeddiaeth, fel y gor-
chymynais i ti.
7 Ac yn awr rhan di'r wlad hon yn
etifeddiaeth i'r naw llwyth, ac i hanner
llwyth Manasseh.
8 Gyd â'r rhai y derbyniodd y Reuben-
iaid a'r Gadiaid eu hetifeddiaeth, [h] yr [h] Num. 32. 33.
hon a roddodd Moses iddynt hwy, o'r tu Deut. 3. 12,
hwnt i'r Iorddonen, tu a'r dwyrain, fel 13.
y rhoddes Moses gwas yr ARGLWYDD Pen. 22. 4.
iddynt;
9 O Aroer, yr hon *sydd* ar fin afon
Arnon, a'r ddinas *sydd* ynghanol § y dy- § *yr afon.*
ffryn, a holl wastadedd Medeba, hyd Di-
bon;

10 A holl ddinasoedd Sehon brenhin yr Amoriaid, yr hwn a deyrnasodd yn Hesbon, hyd ardal meibion Ammon;

11 Gilead hefyd, a therfyn y Gesuriaid, y Maachathiaid hefyd, a holl fynydd Hermon, a holl Basan hyd Salchah;

12 Holl frenhiniaeth Og yn Basan, yr hwn a deyrnasodd yn Astaroth, ac yn Edrei; efe a adawyd o [i] weddill y cawri: canys Moses a'u tarawsai hwynt, ac a'u gyrrasai ymaith.

[i Deut. 3. 11. Pen. 12. 4.]

13 Ond meibion Israel ni yrrasant allan y Gesuriaid na'r Maachathiaid: eithr trigodd y Gesuriaid a'r Maachathiaid ym mhlith Israel hyd y dydd hwn.

14 [k] Yn unig i lwyth Lefi ni roddodd efe etifeddiaeth; aberthau tanllyd ARGLWYDD DDUW Israel *oedd* ei etifeddiaeth ef, [l] fel y llefarasai efe wrtho.

[k Pen. 14. 3, 4. l Adn. 33.]

15 ¶ A Moses a roddasai i lwyth meibion Reuben *etifeddiaeth* trwy eu teuluoedd:

16 A'u terfyn hwynt oedd o Aroer, yr hon *sydd* ar fin afon Arnon, a'r ddinas *sydd* ynghanol † y dyffryn, a'r holl wastadedd wrth Medeba;

[† *yr afon.*]

17 Hesbon a'i holl ddinasoedd, y rhai *sydd* yn y gwastadedd; Dibon, a ‡ Bamoth-Baal, a Beth-Baal-meon;

[‡ Neu, *uchelfeydd Baal, a thai Baal-meon.* Edrych Num. 32. 38.]

18 Jahasah *hefyd*, a Cedemoth, a Mephaath;

19 Ciriathaim *hefyd*, a Sibmah, a Sareth-sahar, ym mynydd-dir y glynn;

20 Beth-peor *hefyd*, ac § [m] Asdoth-Pisgah, a Beth-Jesimoth,

[§ Neu, *ffynhonnau Pisgah*, neu, *y bryn.* m Deut. 3. 17.]

21 A holl ddinasoedd y gwastadedd, a holl frenhiniaeth Sehon brenhin yr Amoriaid, yr hwn a deyrnasodd yn Hesbon, [n] yr hwn a ddarfuasai i Moses ei daro, [o] gyd â thywysogion Midian, Efi, a Recem, a Sur, a Hur, a Reba, dugiaid Sehon, *y rhai* oedd yn preswylio yn y wlad.

[n Num. 21. 24. o Num. 31. 8.]

22 ¶ [p] Balaam hefyd fab Beor, y dewin, a laddodd meibion Israel â'r cleddyf, ym mhlith eu lladdedigion hwynt.

[p Num. 22. 5. a 31. 8.]

23 A therfyn meibion Reuben oedd yr Iorddonen a'i goror. Dyma etifeddiaeth meibion Reuben, yn ol eu teuluoedd, y dinasoedd, a'u trefi.

24 ¶ Moses *hefyd* a roddodd *etifeddiaeth* i lwyth Gad, *sef* i feibion Gad, trwy eu teuluoedd:

25 A Jazer oedd derfyn iddynt hwy, a holl ddinasoedd Gilead, a hanner gwlad meibion Ammon, hyd Aroer, yr hon *sydd* o flaen Rabbah;

26 Ac o Hesbon hyd Ramath-Mispeh, a Betonim; ac o Mahanaim hyd gyffinydd Debir;

27 Ac yn y dyffryn, Beth-Aram, a Beth-Nimrah, a Succoth, a Saphon, gweddill brenhiniaeth Sehon brenhin Hesbon, yr Iorddonen a'i therfyn, hyd gwrr môr Cinneroth, o'r tu hwnt i'r Iorddonen, o du'r dwyrain.

28 Dyma etifeddiaeth meibion Gad, yn ol eu teuluoedd, y dinasoedd, a'u trefydd.

29 ¶ Moses hefyd a roddodd *etifeddiaeth* i hanner llwyth Manasseh: a bu *etifeddiaeth* i hanner llwyth meibion Manasseh, yn ol eu teuluoedd:

30 A'u terfyn hwynt oedd o Mahanaim, holl Basan, holl frenhiniaeth Og brenhin Basan, a [q] holl drefi Jair, y rhai *sydd* yn Basan, tri ugain dinas;

[q Num. 32. 41.]

31 A hanner Gilead, ac Astaroth, ac Edrei, dinasoedd brenhiniaeth Og yn Basan, *a roddodd efe* i feibion Machir mab Manasseh, *sef* i hanner [r] meibion Machir, yn ol eu teuluoedd.

[r Num. 32. 39.]

32 Dyma 'r *gwledydd* a roddodd Moses i'w hetifeddu, yn rhosydd Moab, am yr Iorddonen a Jericho, o du'r dwyrain.

33 [s] Ond i lwyth Lefi ni roddodd Moses etifeddiaeth: ARGLWYDD DDUW Israel *yw* eu hetifeddiaeth hwynt, [t] fel y llefarodd efe wrthynt.

[s Pen. 18. 7. t Num. 18. 20. Deut. 10. 9. a 18. 1, 2.]

## PEN. XIV.

*2 Y naw llwyth a hanner i gael eu hetifeddiaeth wrth goelbren. 6 Caleb trwy ragorfraint yn cael Hebron.*

DYMA *hefyd y gwledydd* a etifeddodd meibion Israel yngwlad Canaan, [a] y rhai a rannodd Eleazar yr offeiriad, a Josua mab Nun, a phennau cenedl llwythau meibion Israel, iddynt hwy i'w hetifeddu.

[1444. a Num. 34. 17.]

2 [b] Wrth goelbren *yr oedd* eu hetifeddiaeth hwynt; fel y gorchymynasai 'r ARGLWYDD trwy law Moses, *eu rhoddi* i'r naw llwyth, ac i'r hanner llwyth.

[b Num. 26. 55. a 33. 54. a 34. 13.]

3 Canys Moses a roddasai etifeddiaeth i ddau lwyth, ac i hanner llwyth, o'r tu hwnt i'r Iorddonen; ond i'r Lefiaid ni roddasai efe etifeddiaeth yn eu mysg hwynt;

4 Canys [c] meibion Joseph oedd ddau lwyth, Manasseh ac Ephraim: am hynny ni roddasant ran i'r Lefiaid yn y tir, ond [d] dinasoedd i drigo, a'u meusydd pentrefol i'w hanifeiliaid, ac i'w golud.

[c Gen. 48. 5. 1 Chron. 5. 1, 2. d Num. 35. 2.]

5 Fel y gorchymynasai 'r ARGLWYDD i Moses, felly y gwnaeth meibion Israel, a hwy a rannasant y wlad.

[Pen. 21. 2.]

6 ¶ Yna meibion Judah a ddaethant at Josua yn Gilgal: a Chaleb mab Jephunneh [e] y Ceneziad a ddywedodd wrtho ef, Tydi a wyddost [f] y gair a lefarodd yr ARGLWYDD wrth Moses gwr Duw o'm plegid i, ac o'th blegid dithau, yn Cades-Barnea.

[e Num. 32. 12. f Num. 14. 24.]

7 Mab deugain mlwydd *oeddwn* i pan [g] anfonodd Moses gwas yr ARGLWYDD fi o Cades-Barnea, i edrych ansawdd y wlad; a mi a ddygais air iddo ef drachefn, fel *yr oedd* yn fy nghalon.

[g Num. 13. 6. a 14. 6.]

8 Ond [h] fy mrodyr, y rhai a aethant i fynu gyd â mi, a ddigalonnasant y bobl: etto i myfi a gyflawnais *fyned* ar ol yr ARGLWYDD fy NUW.

[h Num. 13. 31, 32. i Num. 14. 24.]

9 A Moses a dyngodd y diwrnod hwnnw, gan ddywedyd, Diau [k] y bydd y wlad [l] y sathrodd dy droed arni, yn etifeddiaeth i ti, ac i'th feibion hyd byth; am it' gyflawni *myned* ar ol yr ARGLWYDD fy NUW.

[k Deut. 11. 24. Pen. 1. 3. l Edrych Num. 13. 22.]

10 Ac yn awr, wele 'r ARGLWYDD a'm cadwodd yn fyw, [m] fel y llefarodd efe, y pum mlynedd a deugain hyn, er pan lefarodd yr ARGLWYDD y gair hwn wrth Moses, tra y rhodiodd Israel yn yr anialwch: ac yn awr, wele fi heddyw yn fab pum mlwydd a phedwar ugain.

[m Num. 14. 30.]

11 [n] *Yr ydwyf* etto mor gryf heddyw a'r dydd yr anfonodd Moses fi: fel *yr oedd* fy nerth i y pryd hynny, felly y *mae* fy nerth i yn awr, i ryfela, ac i fyned allan, ac i ddyfod i mewn.

[n Eccl. 46. 9. Edrych Deut. 31. 2.]

12 Yn awr gan hynny dyro i mi y mynydd yma, am yr hwn y llefarodd yr ARGLWYDD y dwthwn hwnnw (canys ti a glywaist y dwthwn hwnnw *fod* [o] yr Anaciaid yno, a dinasoedd mawrion caerog) ond odid yr ARGLWYDD *fydd* gyd â mi, fel y gyrrwyf hwynt allan, megis y llefarodd yr ARGLWYDD.

[o Num. 13. 28, 32, 33.]

p Pen. 15. 13 A Josua a'i bendithiodd ef, ac p a
13. Barn. 1. 20. roddodd Hebron i Caleb fab Jephunneh yn
Edrych etifeddiaeth.
Pen. 21. 11, 14 Am hynny mae q Hebron yn etifedd-
12. 1 Chron. 6. iaeth i Caleb fab Jephunneh y Ceneziad hyd
55, 56. y dydd hwn: o herwydd iddo ef gwblhau
q 1 Mac. 2. *myned* ar ol ARGLWYDD DDUW Israel.
56. 15 Ac r enw Hebron o'r blaen *oedd* Caer
r Gen. 23. Arba; *yr Arba hwnnw oedd* wr mawr ym
2. Pen. 15. 13. mysg yr Anaciaid. s A'r wlad a orphwysodd
s Pen. 11. heb ryfel.
23.

## PEN. XV.

1 *Terfynau rhandir Judah.* 13 *Rhan Caleb, a'i oresgyniad.* 16 *Othniel am ei wrolaeth yn cael Achsah merch Caleb yn wraig.* 18 *Hithau yn cael rhodd gan ei thad.* 21 *Dinasoedd Judah.* 63 *Y Jebusiaid heb eu gorchfygu.*

1444. A Rhandir llwyth meibion Judah, yn ol
a Num. 34. eu teuluoedd, ydoedd a tu a therfyn
3. Edom: b anialwch Sin, tu a'r dehau, *oedd*
b Num. 33. eithaf y terfyn dehau.
36. 2 A therfyn y dehau oedd iddynt hwy o
† Heb. gwrr y môr heli, o'r † graig sydd yn wynebu
*tafod.* tu a'r dehau.
3 Ac yr oedd yn myned allan o'r dehau
‡ *Maale-* hyd ‡ riw Acrabbim, ac *yr oedd* yn myned
*acrabbim.* rhagddo i Sin, ac yn myned i fynu o du'r
dehau i Cades-Barnea; ac yn myned hefyd
i Hesron, ac yn esgyn i Adar, ac yn am-
gylchynu i Carcaah.
4 Ac *yr oedd* yn myned tu ag Asmon, ac
yn myned allan i afon yr Aipht; ac eithaf-
oedd y terfyn hwnnw oedd wrth y môr:
hyn fydd i chwi yn derfyn dehau.
5 A'r terfyn tu a'r dwyrain *yw*'r môr
heli, hyd eithaf yr Iorddonen: a'r terfyn
o du'r gogledd, *sydd* o graig y môr, yn
eithaf yr Iorddonen.
6 A'r terfyn hwn oedd yn myned i fynu
i Beth-Hoglah, ac yn myned o'r gogledd
hyd Beth-Arabah; a'r terfyn hwn oedd
yn myned i fynu at faen Bohan mab
Reuben.
7 A'r terfyn hwn oedd yn myned i fynu i
Ddebir o ddyffryn Achor, a thu a'r gogledd
yn edrych tu a Gilgal, o flaen rhiw Adum-
mim, yr hon *sydd* o du y dehau i'r afon: y
terfyn hefyd sydd yn myned hyd ddyfroedd
c 1 Bren. 1. En-semes, a'i gwrr eithaf sydd wrth c En-
9. rogel.
8 A'r terfyn sydd yn myned i fynu *trwy*
ddyffryn meibion Hinnom, gan ystlys y Je-
busiaid o du'r dehau, honno *yw* Jerusalem:
y terfyn hefyd sydd yn myned i fynu i ben
y mynydd *sydd* o flaen dyffryn Hinnom, tu
a'r gorllewin, yr hwn *sydd* ynghwrr glynn y
cawri, tu a'r gogledd.
9 A'r terfyn sydd yn cyrhaeddyd o ben
y mynydd hyd ffynnon dyfroedd Neph-
toah, ac *sydd* yn myned allan i ddinas-
oedd mynydd Ephron: y terfyn hefyd
sydd yn tueddu i Baalah, honno *yw* Ciriath-
Jearim.
10 A'r terfyn *sydd* yn amgylchu o Baalah
tu a'r gorllewin, i fynydd Seir, ac *sydd* yn
myned rhagddo at ystlys mynydd Jearim,
o du'r gogledd (honno *yw* Chesalon) ac y
mae yn disgyn i Beth-semes, ac yn myned i
Timnah.
11 A'r terfyn *sydd* yn myned i ystlys
Ecron, tu a'r gogledd: a'r terfyn sydd yn
tueddu i Sicron, ac yn myned rhagddo i
fynydd Baalah, ac yn cyrhaeddyd i Jab-
neel; a chyrrau eithaf y terfyn sydd *wrth* y
môr.

12 A therfyn y gorllewin *yw*'r môr mawr
a'i derfyn. Dyma derfyn meibion Judah o
amgylch, wrth eu teuluoedd.
13 ¶ Ac d i Caleb fab Jephunneh y rhodd- d Pen. 14.
odd efe ran yn mysg meibion Judah, yn 13.
ol gair yr ARGLWYDD wrth Josua; *sef*
§ e Caer Arba, tad yr Anaciaid, honno *yw* § Neu, *Ciriath-Arba.*
Hebron.
14 A Chaleb a yrrodd oddi yno f dri mab e Pen. 14.
Anac, g Sesai, ac Ahiman, a Thalmai, meib- 15.
ion Anac. f Barn. 1.
15 Ac h efe a aeth i fynu oddi yno at 10, 20.
drigolion Debir: ac enw Debir o'r blaen *oedd* g Num. 13.
Ciriath-Sepher. 22.
16 ¶ A dywedodd Caleb, Pwy bynnag h Pen. 10. 38.
a darawo Ciriath-Sepher, ac a'i hynnillo Barn. 1. 11.
hi; iddo ef y rhoddaf Achsah fy merch yn
wraig.
17 Ac i Othniel mab Cenaz, brawd Caleb, i Barn. 1.
a'i hynnillodd hi. Yntau a roddodd Achsah 13. a 3. 9.
ei ferch iddo ef yn wraig.
18 A phan ddaeth hi i mewn *atto ef,*
yna hi a'i hannogodd ef i geisio gan ei
thad faes: ac a k ddisgynodd oddi ar yr k Edrych
asyn. A dywedodd Caleb wrthi, Beth a Gen. 24. 64.
fynni di? 1 Sam. 25. 23.
19 A hi a ddywedodd, Dyro i mi rodd:
canys gwlad y dehau a roddaist i mi; dyro
i mi hefyd ffynhonnau dyfroedd. Ac efe a
roddodd iddi'r ffynhonnau uchaf, a'r ffyn-
honnau isaf.
20 Dyma etifeddiaeth llwyth meibion Ju-
dah, wrth eu teuluoedd.
21 ¶ A'r dinasoedd o du eithaf i lwyth
meibion Judah, tu a therfyn Edom, ar
du'r dehau, oeddynt Cabseel, ac Eder, a
Jagur,
22 Cinah *hefyd,* a Dimonah, ac Adadah,
23 Cedes *hefyd,* a Hasor, ac Ithnan,
24 A Ziph, a Thelem, a Bealoth,
25 A Hasor, Hadattah, a Cirioth, a Hes-
ron, honno *yw* Hasor,
26 Ac Amam, a Sema, a Moladah,
27 A Hasar-Gâdah, a Hesmon, a Beth-
palet,
28 A Hasarsual, a Beer-seba, a Biziothiah,
29 Baalah, a Iim, ac Asem,
30 Ac Eltolad, a Chesil, a Hormah,
31 A Siclag, a Madmannah, a Sansannah,
32 A Lebaoth, a Silhim, ac Ain, a Rhim-
mon: yr holl ddinasoedd *oedd* naw ar hu-
gain, a'u pentrefydd.
33 *Ac* yn y dyffryn, Estaol, a Soreah, ac
Asnah,
34 A Zanoah, ac En-gannim, Tappuah, ac
Enam,
35 Jarmuth, ac Adùlam, Sochoh, ac Aze-
cah,
36 A Saraim, ac Adithaim, a Gederah,
|| a Gederothaim; pedair ar ddeg o ddinas- || Neu, *neu.*
oedd, a'u pentrefydd.
37 Senan, a Hadasah, a Migdal-Gad,
38 A Dilean, a Mispeh, a Joctheel,
39 Lachis, a Boscath, ac Eglon,
40 Chabbon *hefyd,* a Laman, a Chithlis,
41 A Gederoth, Beth-Dagon, a Naamah,
a Maccedah; un ddinas ar bymtheg, a'u
pentrefydd.
42 Libnah, ac Ether, ac Asan,
43 Jiphtah, ac Asnah, a Nesib,
44 Ceilah *hefyd,* ac Achzib, a Maresah,
naw o ddinasoedd, a'u pentrefi.
45 Ecron, a'i threfi, a'i phentrefydd:
46 O Ecron hyd y môr, yr hyn oll *oedd*
ger llaw Asdod, a'u pentrefydd:
47 Asdod, a'i threfydd, a'i phentre-

fydd; Gazah, â'i threfydd, a'i phentrefydd,
hyd afon yr Aipht; a'r môr mawr, a'i der-
fyn.
48 ¶ Ac yn y mynydd-dir; Samir, a Jattir,
a Sochoh,
49 A Dannah, a Ciriath-sannath, honno
*yw* Debir,
50 Ac Anab, ac Astemoh, ac Anim,
51 A Gosen, a Holon, a Giloh; un ddinas
ar ddeg, a'u pentrefydd.
52 Arab, a Dumah, ac Esean,
† Neu, *Janus.* 53 A † Janum, a Beth-tappuah, ac A-
phecah,
[l] Pen. 14. 15. 54 A Humtah, a [l] chaer Arba (honno *yw*
Hebron) a Sior; naw dinas, a'u trefydd.
55 Maon, Carmel, a Ziph, a Juttah,
56 A Jezreel, a Jocdeam, a Zanoah,
57 Cain, Gibeah, a Thimnah; deg o ddi-
nasoedd, a'u pentrefydd.
58 Halhul, Bethsur, a Gedor,
59 A Maarath, a Beth-anoth, ac Eltecon;
chwech o ddinasoedd, a'u pentrefydd.
60 Ciriath-baal (honno *yw* Ciriath-jearim)
a Rabbah; dwy ddinas, a'u pentrefydd.
61 ¶ Yn yr anialwch; Beth-arabah, Mid-
din, a Sechachah,
62 A Nibsan, a dinas yr halen, ac En-
gedi; chwech o ddinasoedd, a'u pentrefydd.
[m] Edrych Barn. 1. 8. 2 Sam. 5. 7. 63 Ond [m] ni allodd meibion Judah yrru
allan y Jebusiaid, trigolion Jerusalem: [n] am
[n] Barn. 1. 21. hynny y trig y Jebusiaid gyd â meibion Ju-
dah yn Jerusalem hyd y dydd hwn.

## PEN. XVI.

1 *Terfynau cyffredinol meibion Joseph.* 5 *Terfyn etifeddiaeth Ephraim.* 10 *Y Canaaneaid heb eu llwyr-oresgyn.*

1444. A Rhandir meibion Joseph oedd yn
myned o'r Iorddonen *wrth* Jericho,
i ddyfroedd Jericho o du'r dwyrain, i'r
anialwch sydd yn myned i fynu o Jericho i
fynydd Bethel;
[a] Barn. 1. 26. 2 Ac yn myned o Bethel i [a] Luz, ac yn
myned rhagddo i derfyn Arci i Ataroth;
3 Ac yn disgyn tu a'r gorllewin i ardal
Japhleti, hyd derfyn Beth-horon isaf, ac
hyd Gezer: a'*i* gyrrau eithaf sydd hyd y
môr.
4 Felly meibion Joseph, Manasseh ac E-
phraim, a gymmerasant eu hetifeddiaeth.
5 ¶ A therfyn meibion Ephraim *oedd* yn
ol eu teuluoedd; a therfyn eu hetifeddiaeth
hwynt o du'r dwyrain, oedd Ataroth-adar,
hyd Beth-horon uchaf.
6 A'r terfyn sydd yn myned tu a'r môr,
i Michmethath o du'r gogledd; a'r terfyn
sydd yn amgylchu o du'r dwyrain i Taa-
nath-Siloh, ac yn myned heibio iddi o du'r
dwyrain i Janohah:
7 Ac yn myned i wared o Janohah, *i*
Ataroth, a Naarath; ac yn cyrhaeddyd i Je-
richo, ac yn myned allan i'r Iorddonen.
8 O Tappuah y mae'r terfyn yn myned
tu a'r gorllewin i afon Canah; a'i gyrrau
eithaf sydd wrth y môr. Dyma etifeddi-
aeth llwyth meibion Ephraim, yn ol eu
teuluoedd.
[b] Pen. 17. 9. 9 A dinasoedd [b] neillduedig meibion E-
phraim *oedd* ym mysg etifeddiaeth meibion
Manasseh; yr holl ddinasoedd, a'u pentre-
fydd.
[c] Barn. 1. 29. Edrych 1 Bren. 9. 16. 10 Ond [c] ni oresgynasant hwy y Ca-
naaneaid, y rhai oedd yn trigo yn Gezer:
am hynny y trigodd y Canaaneaid ym
mhlith yr Ephraimiaid hyd y dydd hwn, ac
y maent yn gwasanaethu dan dreth.

## PEN. XVII.

1 *Rhandir Manasseh,* 7 *a'i derfynau.* 12 *Y Canaaneaid heb eu gyrru allan.* 14 *Meibion Joseph yn cael rhandir arall.*

AC yr oedd rhandir llwyth Manasseh 1444.
(canys efe *oedd* [a] cyntaf-anedig Joseph) [a] Gen. 41. 51. a 46. 20.
i [b] Machir, cyntaf-anedig Manasseh, tad Gi-
lead: o herwydd ei fod efe yn rhyfelwr, yr [b] Gen. 50. 23.
oedd Gilead a Basan yn eiddo ef. Num. 32.
2 Ac yr oedd *rhandir* i'r [c] rhan arall o 39. 40.
feibion Manasseh, yn ol eu teuluoedd; *sef* 1 Chron. 7. 14.
i feibion † Abiezer, ac i feibion Helec, ac [c] Num. 26.
i feibion Asriel, ac i feibion Sichem, ac i 29.
feibion Hepher, ac i feibion Semida: dyma † Num. 26.
feibion Manasseh fab Joseph, *sef* y gwrryw- 30, *Jeezer.*
iaid, yn ol eu teuluoedd.
3 ¶ Ond [d] Salphaad mab Hepher, fab Gi- [d] Num. 26.
lead, fab Machir, fab Manasseh, nid oedd 33. a 27. 1. a 36. 2.
iddo feibion, ond merched: a dyma enwau
ei ferched ef; Malah, a Noah, Hoglah,
Milcah, a Thirsah:
4 Y rhai a ddaethant o flaen Eleazar yr
offeiriad, ac o flaen Josua mab Nun, ac o
flaen y tywysogion, gan ddywedyd, Yr
ARGLWYDD a orchymynodd i Moses roddi
i ni etifeddiaeth ym mysg ein brodyr: am
hynny efe a roddodd iddynt etifeddiaeth,
yn ol gair yr ARGLWYDD, ym mysg brodyr
eu tad.
5 A deg rhandir a syrthiodd i Manasseh,
heb law gwlad Gilead a Basan, y rhai *sydd*
tu hwnt i'r Iorddonen;
6 Canys merched Manasseh a etifeddasant
etifeddiaeth ym mysg ei feibion ef: a
gwlad Gilead oedd i'r rhan arall o feibion
Manasseh.
7 ¶ A therfyn Manasseh oedd o Aser i
Michmethath, yr hon *sydd* gyferbyn a Si-
chem; a'r terfyn oedd yn myned ar y llaw
ddehau, hyd breswylwŷr En-tappuah.
8 Gwlad Tappuah oedd eiddo Manasseh:
ond Tappuah, *yr hon oedd* ar derfyn Ma-
nasseh, *oedd* eiddo meibion Ephraim.
9 A'r terfyn sydd yn myned i wared i afon
‡ Canah, o du dehau'r afon. [e] Y dinas- ‡ Neu, *yr hesg.*
oedd hyn, eiddo Ephraim, *oedd* ym mhlith
dinasoedd Manasseh: a therfyn Manasseh [e] Pen. 16. 9.
*sydd* o du'r gogledd i'r afon, a'i ddiwedd
oedd y môr.
10 Y dehau *oedd* eiddo Ephraim, a'r gog-
ledd *eiddo* Manasseh; a'r môr oedd ei derfyn
ef: ac yn Aser yr oeddynt yn cyfarfod, o'r
gogledd; ac yn Issachar, o'r dwyrain.
11 Yn Issachar hefyd ac yn Aser yr oedd
gan Manasseh, Beth-sean a'i threfydd, ac
Ibleam a'i threfydd, *a* thrigolion Dor a'i
threfydd, a thrigolion En-dor a'i threfydd, a
phreswylwŷr Taanach a'i threfydd, a thrigo-
lion Megido a'i threfydd; tair talaith.
12 Ond [f] ni allodd meibion Manasseh yrru [f] Barn. 1. 27.
ymaith *drigolion* y dinasoedd hynny; eithr
mynnodd y Canaaneaid breswylio yn y wlad
honno.
13 Etto pan gryfhaodd meibion Israel,
hwy a osodasant y Canaaneaid dan dreth:
ni yrrasant hwynt ymaith yn llwyr.
14 ¶ A meibion Joseph a lefarasant wrth
Josua, gan ddywedyd, Pa ham y rhoddaist
i mi, yn etifeddiaeth, un afael ac un rhan, a
minnau yn bobl aml, wedi i'r ARGLWYDD
hyd yn hyn fy mendithio?
15 A Josua a ddywedodd wrthynt, Os
pobl aml *ydwyt*, dos i fynu i'r coed, a
thorr *goed* it' yno yngwlad y Phereziaid,
a'r ‖ cawri, os yw mynydd Ephraim yn ‖ Neu, *Rephaimiaid.*
gyfyng i ti.

16 A meibion Joseph a ddywedasant, Ni
bydd y mynydd ddigon i ni: hefyd *y mae*
g Barn. 4. 3. [g] cerbydau heiyrn gan yr holl Canaaneaid
sy'n trigo yn y dyffryndir, gan y rhai *sydd*
yn Beth-sean a'i threfi, a chan y rhai *sydd*
h Pen. 19. 18. 1 Bren. 4. 12. [h] ynglynn Jezreel.
17 A Josua a ddywedodd wrth dŷ Joseph,
wrth Ephraim ac wrth Manasseh, gan ddy-
wedyd, Pobl aml *ydwyt*, a nerth mawr *sydd*
gennyt: ni fydd it' un rhan *yn unig*.
18 Eithr bydd y mynydd eiddot ti: canys
coediog *yw*, arloesa ef; a bydd ei eithaf-
oedd ef eiddot ti: canys ti a yrri ymaith
y Canaaneaid, er bod cerbydau heiyrn gan-
ddynt, *ac* er eu *bod* yn gryfion.

## PEN. XVIII.

1 *Gosod y tabernacl i fynu yn Siloh.* 9 *Dos-
parthu'r rhan arall o'r tir, a'i gyfrannu
yn saith ran.* 10 *Josua yn ei rannu wrth
goelbren.* 11 *Rhandir a therfyn Benjamin:*
21 *eu dinasoedd.*

1444. A Holl gynnulleidfa meibion Israel a ym-
gynnullasant i Siloh, ac a osodasant
yno babell y cyfarfod: a'r wlad oedd wedi
ei darostwng o'u blaen hwynt.
2 A saith llwyth oedd yn aros ym mysg
meibion Israel, i'r rhai ni rannasent eu he-
tifeddiaeth etto.
3 A Josua a ddywedodd wrth feibion Is-
rael, Pa hyd *yr ydych* yn esgeuluso myned
i oresgyn y wlad a roddes ARGLWYDD DDUW
eich tadau i chwi?
4 Moeswch o honoch dri-wŷr o *bob* llwyth;
fel yr anfonwyf hwynt, ac y cyfodont, ac
y rhodiont y wlad, ac y dosparthont hi yn
ol eu hetifeddiaeth hwynt; ac y delont attaf
*drachefn*.
5 A hwy a'i rhannant hi yn saith ran.
Judah a saif ar ei derfyn o du'r dehau, a thŷ
Joseph a safant ar eu terfyn o du'r gogledd.
6 A chwi a ddosperthwch y wlad *yn* saith
ran, a dygwch *y dosparthiadau* attaf fi yma;
fel y bwriwyf goelbren drosoch yma, o
flaen yr ARGLWYDD ein DUW.
7 Ond ni *bydd* rhan i'r Lefiaid yn eich
mysg chwi; o herwydd offeiriadaeth yr
ARGLWYDD *fydd* eu hetifeddiaeth hwynt.
Gad hefyd, a Reuben, a hanner llwyth
Manasseh, a dderbyniasant eu hetifeddiaeth
o'r tu hwnt i'r Iorddonen, o du'r dwy-
rain, yr hon a roddodd Moses gwas yr AR-
GLWYDD iddynt.
8 ¶ A'r gwŷr a gyfodasant, ac a aethant:
a Josua a orchymynodd i'r rhai oedd yn
myned i rannu'r wlad, gan ddywedyd,
Ewch, a rhodiwch trwy'r wlad, a dosperth-
wch hi, a dychwelwch attaf fi; ac yma y
bwriaf drosoch chwi goelbren ger bron yr
ARGLWYDD yn Siloh.
9 A'r gwŷr a aethant ymaith, ac a gerdd-
asant trwy'r wlad, ac a'i dosparthasant hi
bob yn ddinas, yn saith ran, mewn llyfr; a
daethant at Josua i'r gwersyll *yn* Siloh.
10 ¶ A Josua a fwriodd goelbren drostynt
hwy ger bron yr ARGLWYDD yn Siloh: a
Josua a rannodd yno y wlad i feibion Israel
yn ol eu rhannau.
11 ¶ A choelbren llwyth meibion Benja-
min a ddaeth i fynu yn ol eu teuluoedd: a
therfyn eu hetifeddiaeth hwynt a aeth allan
rhwng meibion Judah a meibion Joseph.
12 A'r terfyn oedd iddynt hwy tu a'r
gogledd o'r Iorddonen: y terfyn hefyd
oedd yn myned i fynu gan ystlys Jericho, o
du'r gogledd, ac yn myned i fynu trwy'r
mynydd tu a'r gorllewin; a'i gyrrau eithaf
oedd yn anialwch Beth-afen.
13 Y terfyn hefyd sydd yn myned oddi
yno i Luz, gan ystlys Luz ([a] honno *yw* a Gen. 28.
Bethel) tu a'r dehau; a'r terfyn sydd yn 19.
disgyn i Ataroth-adar, i'r mynydd *sydd* o
du'r dehau i Beth-horon isaf.
14 A'r terfyn sydd yn tueddu, ac yn am-
gylchu cilfach y môr tu a'r dehau, o'r my-
nydd *sydd* ar gyfer Beth-horon tu a'r de-
hau; a'i gyrrau eithaf ef *sydd* wrth Cir-
iath-baal (honno *yw* Ciriath-jearim) dinas
meibion Judah. Dyma du y gorllewin.
15 A thu y dehau *sydd* o gwrr Ciriath-
jearim; a'r terfyn sydd yn myned tu a'r
gorllewin, ac yn cyrhaeddyd hyd ffynnon
dyfroedd Nephtoah.
16 Y terfyn hefyd sydd yn disgyn tu a
chwrr y mynydd *sydd* ar gyfer glynn mab
Hinnom, yr hwn *sydd* yn nyffryn y cawri
tu a'r gogledd; ac y mae efe yn disgyn i
ddyffryn Hinnom, [b] gan ystlys y Jebusiaid b Pen. 15.
tu a'r dehau, ac yn dyfod i wared i † [c] ffyn- 8.
non Rogel. † En-rogel.
17 Ac y mae yn tueddu o'r gogledd, ac c Pen. 15. 7.
yn myned i En-semes, ac yn cyrhaeddyd tu
a Geliloth, yr hon *sydd* gyferbyn a rhiw
Adummim, ac yn disgyn *at* [d] faen Bohan d Pen. 15. 6.
mab Reuben:
18 Ac y mae efe yn myned ar hŷd yr
ystlys ar gyfer Arabah tu a'r gogledd, ac yn
disgyn ‡ i Arabah. ‡ Neu,
19 Y terfyn hefyd sydd yn myned rhag- *i'r gwastadedd.*
ddo i ystlys Beth-hoglah tu a'r gogledd: a
chwrr eithaf y terfyn oedd wrth § lann y § Heb.
môr heli tu a'r gogledd, hyd gwrr yr Ior- *dafod.*
ddonen tu a'r dehau. Dyma derfyn y dehau.
20 Yr Iorddonen hefyd sydd derfyn iddo
o ystlys y dwyrain. Dyma etifeddiaeth
meibion Benjamin, trwy eu terfynau o am-
gylch, yn ol eu teuluoedd.
21 A dinasoedd llwyth meibion Benjamin,
yn ol eu teuluoedd, oedd, Jericho, a Beth-
hoglah, a glynn Cesis,
22 A Beth-arabah, a Semarim, a Bethel,
23 Ac Afim, a Pharah, ac Ophrah,
24 A Chephar-haammonai, ac Ophni, a
Gaba; deuddeg o ddinasoedd, a'u pentref-
ydd:
25 Gibeon, a Ramah, a Beeroth,
26 A Mispeh, a Chephirah, a Mosah,
27 A Recem, ac Irpeel, a Tharalah,
28 A Selah, Eleph, a Jebusi (honno *yw*
Jerusalem) Gibeath, *a* Chiriath; pedair ar
ddeg o ddinasoedd, a'u pentrefydd. Dyma
etifeddiaeth meibion Benjamin, yn ol eu
teuluoedd.

## PEN. XIX.

1 *Rhandir Simeon,* 10 *Zabulon,* 17 *Issachar,*
24 *Aser,* 32 *Naphtali,* 40 *a Dan.* 49 *Plant
Israel yn rhoddi etifeddiaeth i Josua.*

A'R ail goelbren a aeth allan i Simeon, 1444.
dros lwyth meibion Simeon, yn ol eu
teuluoedd: a'u hetifeddiaeth hwynt oedd o
fewn etifeddiaeth meibion Judah.
2 Ac [a] yr oedd ganddynt hwy, yn eu heti- a 1 Chron.
feddiaeth, Beer-seba, a Seba, a Moladah, 4. 28.
3 A Hasar-sual, a Balah, ac Asem,
4 Ac Eltolad, a Bethul, a Hormah,
5 A Siclag, a Beth-marcaboth, a Hasar-
susah,
6 A Beth-lebaoth, a Saruhen; tair dinas
ar ddeg, a'u pentrefydd.
7 Ain, Rimmon, ac Ether, ac Asan;
pedair o ddinasoedd, a'u pentrefydd:

8 A'r holl bentrefydd y rhai *oedd* o am-
gylch y dinasoedd hyn, hyd Baalath-beer,
Ramath *o'r* dehau. Dyma etifeddiaeth
llwyth meibion Simeon, yn ol eu teulu-
oedd.
9 O randir meibion Judah *yr oedd* etifedd-
iaeth meibion Simeon: canys rhan meibion
Judah oedd ormod iddynt; am hynny meib-
ion Simeon a gawsant eu hetifeddiaeth o
fewn eu hetifeddiaeth hwynt.
10 ¶ A'r trydydd coelbren a ddaeth i
fynu dros feibion Zabulon, yn ol eu teu-
luoedd: a therfyn eu hetifeddiaeth hwynt
oedd hyd Sarid.
11 A'u terfyn hwynt sydd yn myned i
fynu tu a'r môr, a Maralah, ac yn cyrhaedd-
yd i Ddabbaseth; ac yn cyrhaeddyd i'r afon
*sydd* ar gyfer Jocneam;
12 Ac yn troi o Sarid, o du'r dwyrain tu
a chyfodiad haul, hyd derfyn Cisloth-Ta-
bor; ac yn myned i Ddaberath, ac yn esgyn
i Japhia;
13 Ac yn myned oddi yno ym mlaen tu
a'r dwyrain, i Gittah-Hepher, i Ittah-Casin;
† Neu, yr hon a dynnwyd. ac yn myned allan i Rimmon-† Methoar, i
Neah.
14 A'r terfyn sydd yn amgylchu o du'r
gogledd i Hannathon; a'i ddiweddiad yng-
lynn Jiphtael.
15 Cattath *hefyd*, a Nahàlal, a Simron, ac
Idalah, a Beth-lehem: deuddeg o ddinas-
oedd, a'u pentrefydd.
16 Dyma etifeddiaeth meibion Zabulon,
yn ol eu teuluoedd; y dinasoedd yma, a'u
pentrefydd.
17 ¶ Y pedwerydd coelbren a ddaeth
allan dros Issachar; dros feibion Issachar,
yn ol eu teuluoedd.
18 A'u terfyn hwynt oedd *tu a* Jezreel, a
Cesùloth, a Sunem,
19 A Hapharim, a Sihon, ac Anaharath,
20 A Rabbith, a Cision, ac Abes,
21 A Remeth, ac En-gannim, ac En-hàdah,
a Beth-passes.
22 A'r terfyn sydd yn cyrhaeddyd i Ta-
bor, a Sahàsimah, a Beth-semes; a'u cyrrau
eithaf hwynt yw'r Iorddonen: un ddinas ar
bymtheg, a'u pentrefydd.
23 Dyma etifeddiaeth llwyth meibion
Issachar, yn ol eu teuluoedd; y dinasoedd,
a'u pentrefydd.
24 ¶ A'r pummed coelbren a ddaeth
allan dros lwyth meibion Aser, yn ol eu
teuluoedd.
25 A'u terfyn hwynt oedd, Helcath, a
Hali, a Beten, ac Achsaph,
26 Ac Alammelech, ac Amad, a Misal; ac
yn cyrhaeddyd i Carmel tu a'r gorllewin,
ac i Sihor-Libnath;
27 Ac yn troi tu a chyfodiad haul i Beth-
Dagon, ac yn cyrhaeddyd i Zabulon, ac i
ddyffryn Jiphtael, tu a'r gogledd i Beth-
Emec, ac i Neiel, ac yn myned ar y llaw
aswy i Cabul;
28 A Hebron, a Rehob, a Hammon, a
Canah, hyd Sidon fawr.
29 A'r terfyn sydd yn troi i Ramah, ac
‡ Tyrus. hyd ‡ Sor, y ddinas gadarn: a'r terfyn sydd
yn troi i Hosah; a'i gyrrau eithaf sydd wrth
b Gen. 38. 5. y môr, o randir b Achzib.
Barn. 1. 31. Mic. 1. 14. 30 Ummah hefyd, ac Aphec, a Rehob:
dwy ddinas ar hugain, a'u pentrefydd.
31 Dyma etifeddiaeth llwyth meibion
Aser, yn ol eu teuluoedd; y dinasoedd hyn,
a'u pentrefydd.
32 ¶ Y chweched coelbren a ddaeth allan
i feibion Naphtali, dros feibion Naphtali,
yn ol eu teuluoedd.
33 A'u terfyn hwy oedd o Heleph, o
Alon i Saanannim, ac Adami, Neceb, a
Jabneel hyd Lacum: a'i gyrrau eithaf oedd
*wrth* yr Iorddonen.
34 A'r c terfyn sydd yn troi tu a'r gor- c Deut. 33.
llewin i Aznoth-Tabor, ac yn myned oddi 23.
yno i Huccoc; ac yn cyrhaeddyd i Zabulon
o du'r dehau, *ac* yn cyrhaeddyd i Aser o
du'r gorllewin, ac i Judah a'r Iorddonen tu
a chyfodiad haul.
35 A'r dinasoedd caerog, Sìdim, Ser, a
Hammath, Raccath, a Chinneroth,
36 Ac Adamah, a Ramah, a Hasor,
37 A Cedes, ac Edrei, ac En-hasor,
38 Ac Iron, a Migdal-el, Horem, a Beth-
anath, a Beth-semes: pedair dinas ar bym-
theg, a'u pentrefydd.
39 Dyma etifeddiaeth llwyth meibion
Naphtali, yn ol eu teuluoedd; y dinasoedd,
a'u pentrefydd.
40 ¶ Y seithfed coelbren a ddaeth allan
dros lwyth meibion Dan, yn ol eu teuluoedd.
41 A therfyn eu hetifeddiaeth hwynt oedd
Sorah, ac Estaol, ac Ir-Semes,
42 A Saalabbin, ac Ajalon, ac Ithlah,
43 Ac Elon, a Thimnathah, ac Ecron,
44 Ac Elteceh, a Gibbethon, a Baalath,
45 A Jehud, a Bene-berac, a Gath-rim-
mon,
46 A Meiarcon, a Raccon, gyd â'r terfyn
ar gyfer § Japho. § Joppa, Act. 9. 36.
47 A d therfyn meibion Dan a aeth yn
*rhy fychan* iddynt: am hynny meibion Dan d Edrych Barn. 18.
a aethant i fynu i ymladd yn erbyn Lesem,
ac a'i hennillasant hi; tarawsant hefyd hi
â min y cleddyf, a meddiannasant hi, a
thrigasant ynddi: a galwasant Lesem e yn e Barn. 18.
Ddan, yn ol enw Dan eu tad. 29.
48 Dyma etifeddiaeth llwyth meibion
Dan, yn ol eu teuluoedd; y dinasoedd hyn,
a'u pentrefydd.
49 ¶ Pan orphenasant rannu'r wlad yn
etifeddiaethau yn ol ei therfynau, meibion
Israel a roddasant etifeddiaeth i Josua fab
Nun yn eu mysg:
50 Wrth orchymyn yr ARGLWYDD y
rhoddasant iddo ef y ddinas a ofynodd efe;
*sef* f Timnath-Serah, ym mynydd Ephraim: f Pen. 24.
ac efe a adeiladodd y ddinas, ac a drigodd 30.
ynddi.
51 g Dyma'r etifeddiaethau a roddodd g Num. 34.
Eleazar yr offeiriad, a Josua mab Nun, a 17.
phennau tadau llwythau meibion Israel, yn
etifeddiaeth, wrth goelbren, h yn Siloh, o flaen h Pen. 18.
yr ARGLWYDD, *wrth* ddrws pabell y cyfar- 1.
fod. Felly y gorphenasant rannu'r wlad.

## PEN. XX.

1 *Duw yn gorchymyn, 7 a phlant Israel yn ordeinio'r chwe dinas noddfa.*

A Llefarodd yr ARGLWYDD wrth Josua, 1444.
gan ddywedyd,
2 Llefara wrth feibion Israel, gan ddy-
wedyd, a Moeswch i chwi ddinasoedd nodd- a Exod. 21.
ed, *am* y rhai y lleferais wrthych trwy law 13.
Moses; Num. 35. 6, 11, 14.
3 Fel y ffo yno y llofrudd a laddo *neb* Deut. 19.
mewn amryfusedd, *neu* mewn anwybod: a 2, 9.
byddant i chwi yn noddfa rhag dialydd y
gwaed.
4 A phan ffo efe i un o'r dinasoedd hyn-
ny, a sefyll *wrth* ddrws porth y ddinas, a
mynegi ei achosion lle y clywo henuriaid y
ddinas honno; cymmerant ef attynt i'r

ddinas, a rhoddant le iddo, fel y trigo gyd
â hwynt.
5 Ac os dïalydd y gwaed a erlid ar ei ol
ef, na roddant y lleiddiad yn ei law ef: canys
mewn anwybod y tarawodd efe ei gymmy-
dog, ac nid oedd gas ganddo ef o'r blaen.
[b] Num. 35. 6 Ac efe a drig yn y ddinas honno, [b] nes
12, 25. iddo sefyll o flaen y gynnulleidfa i farn, *ac*
nes marw 'r arch-offeiriad fyddo yn y dydd-
iau hynny: yna dychweled y llofrudd, a
deued i'w ddinas ac i'w dŷ ei hun; *sef* y
ddinas yr hon y ffoisai efe o honi.
7 ¶ Am hynny y cyssegrasant Cedes yn
Galilee, ym mynydd Naphtali, a Sichem
ym mynydd Ephraim, a Chaer-Arba (hon
*yw* Hebron) ym mynydd Judah.
8 Ac o'r tu hwnt i'r Iorddonen, o du'r
[c] Deut. 4. dwyrain i Jericho, y rhoddasant [c] Beser (yn
43. yr anialwch ar y gwastadedd) o lwyth Reu-
1 Chron. 6. ben, a Ramoth yn Gilead o lwyth Gad, a
78. Golan yn Basan o lwyth Manasseh.
9 Y rhai hyn oedd ddinasoedd gosodedig
i holl feibion Israel, ac i'r dïeithr a ymdeith-
iai yn eu mysg hwynt; fel y ffoai pawb id-
dynt a'r a laddai *neb* mewn amryfusedd; ac
na byddai marw trwy law dïalydd y gwaed,
nes iddo sefyll o flaen y gynnulleidfa.

## PEN. XXI.

1 *Rhoddi wyth ddinas a deugain i'r Lefiaid, wrth goelbren, allan o'r llwythau eraill.* 43 *Duw yn rhoddi 'r wlad, a llonyddwch i'r Israeliaid, yn ol ei addewid.*

1444. YNA pennau tadau 'r Lefiaid a nesasant
at Eleazar yr offeiriad, ac at Josua
fab Nun, ac at bennau tadau llwythau
meibion Israel;
[a] Pen. 18. 2 Ac a lefarasant wrthynt yn [a] Siloh, o
1. fewn gwlad Canaan, gan ddywedyd, [b] Yr
[b] Num. 35. ARGLWYDD a orchymynodd, trwy law Mo-
2. ses, roddi i ni ddinasoedd i drigo, a'u meu-
sydd pentrefol i'n hanifeiliaid.
3 A meibion Israel a roddasant i'r Lefi-
aid o'u hetifeddiaeth, wrth orchymyn yr
ARGLWYDD, y dinasoedd hyn a'u meusydd
pentrefol.
4 A daeth y coelbren allan dros deuluoedd
[c] Adn. 8, y Cohathiaid: ac yr oedd i [c] feibion Aaron
19. yr offeiriad, *y rhai oedd* o'r Lefiaid, [d] allan o
[d] Edrych lwyth Judah, ac o lwyth Simeon, ac o lwyth
Pen. 24. 33. Benjamin, dair dinas ar ddeg, wrth goelbren.
[e] Adn. 20, 5 Ac i'r [e] rhan arall o feibion Cohath *yr*
&c. *oedd,* o deuluoedd llwyth Ephraim, ac o
lwyth Dan, ac o hanner llwyth Manasseh,
ddeg dinas, wrth goelbren.
[f] Adn. 27, 6 Ac i [f] feibion Gerson *yr oedd,* o deulu-
&c. oedd llwyth Issachar, ac o lwyth Aser, ac o
lwyth Naphtali, ac o hanner llwyth Ma-
nasseh yn Basan, dair dinas ar ddeg, wrth
goelbren.
[g] Adn. 34, 7 I [g] feibion Merari, wrth eu teuluoedd,
&c. *yr oedd,* o lwyth Reuben, ac o lwyth Gad, ac
o lwyth Zabulon, ddeuddeg o ddinasoedd.
8 A meibion Israel a roddasant i'r Lefiaid
y dinasoedd hyn, a'u meusydd pentrefol, fel
y gorchymynasai 'r ARGLWYDD trwy law
Moses, wrth goelbren.
9 ¶ A hwy a roddasant, o lwyth meibion
Judah, ac o lwyth meibion Simeon, y dinas-
oedd hyn a enwir erbyn *eu* henwau;
10 Fel y byddent i feibion Aaron, o deu-
† Heb, *Ciriath-* luoedd y Cohathiaid, o feibion Lefi: canys
*Arba,* iddynt hwy 'r oedd y coelbren cyntaf.
Gen. 23. 2. 11 A rhoddasant iddynt † Gaer Arba, tad
[h] Pen. 15. [h] Anac (honno yw Hebron) ym mynydd-*dir*
13, 14. Judah, a'i meusydd pentrefol oddi amgylch.

12 Ond [i] maes y ddinas, a'i phentrefydd, [i] Pen. 14.
a roddasant i Caleb fab Jephunneh, yn eti- 14. 1 Chron. 6.
feddiaeth iddo ef. 56.
13 ¶ Ac i [k] feibion Aaron yr offeiriad y [k] 1 Chron.
rhoddasant Hebron a'i meusydd pentrefol, 6. 57
yn ddinas nodded i'r llofrudd; a Libnah a'i
meusydd pentrefol,
14 A Jattir a'i meusydd pentrefol, ac
Estemoa a'i meusydd pentrefol,
15 A [l] Holon a'i meusydd pentrefol, a [l] 1 Chron.
Debir a'i meusydd pentrefol, 6. 58, *Hilen.*
16 Ac [m] Ain a'i meusydd pentrefol, a [m] 1 Chron.
Juttah a'i meusydd pentrefol, *a* Beth-semes 6. 59,
a'i meusydd pentrefol: naw dinas o'r ddau *Asan.*
lwyth hynny.
17 Ac o lwyth Benjamin, Gibeon a'i
meusydd pentrefol, a Geba a'i meusydd
pentrefol,
18 Anathoth a'i meusydd pentrefol, ac
[n] Almon a'i meusydd pentrefol: pedair dinas. [n] 1 Chron.
19 Holl ddinasoedd meibion Aaron, yr 6. 60, *Alemeth.*
offeiriaid, *oedd* dair dinas ar ddeg, a'u meus-
ydd pentrefol.
20 ¶ A chan deuluoedd meibion Cohath
y Lefiaid, y rhan arall o feibion Cohath,
yr oedd dinasoedd eu coelbren o lwyth
Ephraim.
21 A hwy a roddasant iddynt yn ddinas
nodded y lleiddiad, Sichem a'i meusydd pen-
trefol, ym mynydd Ephraim, a Gezer a'i
meusydd pentrefol,
22 A Cibsaim a'i meusydd pentrefol, a
Beth-horon a'i meusydd pentrefol: pedair
o ddinasoedd.
23 Ac o lwyth Dan, Eltece a'i meusydd
pentrefol, Gibbethon a'i meusydd pen-
trefol,
24 Ajalon a'i meusydd pentrefol, Gath-
Rimmon a'i meusydd pentrefol: pedair o
ddinasoedd.
25 Ac o hanner llwyth Manasseh, Tanac
a'i meusydd pentrefol, a Gath-Rimmon a'i
meusydd pentrefol: dwy ddinas.
26 Yr holl ddinasoedd, *y rhai oedd* eiddo y
rhan arall o deuluoedd meibion Cohath,
*oedd* ddeg, a'u meusydd pentrefol.
27 ¶ Ac i feibion Gerson, o deuluoedd y
Lefiaid, *y rhoddasid,* o hanner *arall* llwyth
Manasseh, yn ddinas nodded y llofrudd,
Golan yn Basan a'i meusydd pentrefol, a
Beesterah a'i meusydd pentrefol: dwy ddinas.
28 Ac o lwyth Issachar, Cison a'i meusydd
pentrefol, Dabareth a'i meusydd pentrefol,
29 Jarmuth a'i meusydd pentrefol, En-
gannim a'i meusydd pentrefol: pedair dinas.
30 Ac o lwyth Aser, Misal a'i meusydd
pentrefol, Abdon, a'i meusydd pentrefol,
31 Helcath a'i meusydd pentrefol, a Re-
hob a'i meusydd pentrefol: pedair dinas.
32 Ac o lwyth Naphtali, yn ddinas nodded
y lleiddiad, Cedes yn Galilee a'i meusydd
pentrefol, a Hammoth-dor a'i meusydd
pentrefol, a Cartan a'i meusydd pentrefol:
tair dinas.
33 Holl ddinasoedd y Gersoniaid, yn ol
eu teuluoedd, *oedd* dair dinas ar ddeg, a'u
meusydd pentrefol.
34 ¶ Ac i deuluoedd meibion Merari, y
rhan arall o'r Lefiaid, *y rhoddasid,* o lwyth
Zabulon, Jocneam a'i meusydd pentrefol, a
Cartah a'i meusydd pentrefol,
35 Dimnah a'i meusydd pentrefol, Naha-
lal a'i meusydd pentrefol: pedair dinas.
36 Ac o lwyth Reuben, Beser a'i meus-
ydd pentrefol, a Jahasah a'i meusydd pen-
trefol,

37 Cedemoth a'i meusydd pentrefol, Mephaath a'i meusydd pentrefol; pedair dinas.

38 Ac o lwyth Gad, yn ddinas noddfa y llofrudd, Ramoth yn Gilead a'i meusydd pentrefol a Mahanaim a'i meusydd pentrefol,

39 Hesbon a'i meusydd pentrefol, Jazer a'i meusydd pentrefol; pedair dinas o gwbl.

40 Holl ddinasoedd meibion Merari, yn ol eu teuluoedd (*sef* y rhan arall o deuluoedd y Lefiaid) oedd, *wrth* eu coelbren, ddeuddeng ninas.

41 Holl ddinasoedd y Lefiaid, ym meddiant meibion Israel, *oedd* wyth ddinas a deugain, a'u meusydd pentrefol.

42 Y dinasoedd hyn oedd bob un â'u meusydd pentrefol o'u hamgylch. Felly 'r *oedd* yr holl ddinasoedd hyn.

43 ¶ A'r ARGLWYDD a roddodd i Israel yr holl wlad a dyngodd efe ar *ei* rhoddi wrth eu tadau hwynt: a hwy a'i meddiannasant hi, ac a wladychasant ynddi.

o Pen. 11. 23. 44 [o] Yr ARGLWYDD hefyd a roddodd lonyddwch iddynt hwy o amgylch, yn ol yr hyn oll a dyngasai efe wrth eu tadau hwynt: ac ni safodd neb yn eu hwyneb hwynt o'u holl elynion; eu holl elynion a roddodd yr ARGLWYDD yn eu dwylaw hwynt.

p Pen. 23. 14, 15. 45 [p] Ni phallodd dim o'r holl bethau da a lefarasai 'r ARGLWYDD wrth dŷ Israel: daeth y cwbl i ben.

## PEN. XXII.

1 *Anfon y ddau lwyth a hanner adref, a'u bendithio.* 10 *Hwythau yn adeiladu allor y dystiolaeth ar y ffordd.* 11 *Yr Israeliaid yn anfoddlon iddi.* 21 *Hwythau yn eu boddloni hwynt yn helaeth.*

1444. YNA Josua a alwodd y Reubeniaid a'r Gadiaid, a hanner llwyth Manasseh,

a Num. 32. 20. Deut. 3. 18. 2 Ac a ddywedodd wrthynt, Chwi a gadwasoch [a] yr hyn oll a orchymynodd Moses gwas yr ARGLWYDD i chwi, ac a wrandawsoch ar fy llais yn yr hyn oll a orchymynais i chwi.

3 Ni adawsoch eich brodyr, er ys llawer o ddyddiau bellach, hyd y dydd hwn; ond cadwasoch reol gorchymyn yr ARGLWYDD eich DUW.

b Num. 32. 33. Deut. 29. 8. Pen. 13. 8. 4 Ac yn awr yr ARGLWYDD eich DUW a roddes esmwythdra i'ch brodyr, fel y llefarodd wrthynt: yn awr gan hynny trowch, ac ewch rhagoch i'ch pebyll, i wlad eich meddiant, [b] yr hon a roddodd Moses gwas yr ARGLWYDD i chwi, o'r tu hwnt i'r Iorddonen.

c Deut. 10. 12. 5 Yn unig cedwch yn ddyfal ar wneuthur y gorchymyn a'r gyfraith a orchymynodd Moses gwas yr ARGLWYDD i chwi; *sef* [c] caru 'r ARGLWYDD eich DUW, a rhodio yn ei holl ffyrdd ef, a chadw ei orchymynion ef, a glynu wrtho ef, a'i wasanaethu ef â'ch holl galon, ac â'ch holl enaid.

6 A Josua a'u bendithiodd hwynt, ac a'u gollyngodd ymaith. A hwy a aethant i'w pebyll.

7 ¶ Ac i hanner llwyth Manasseh y rhoddasai Moses *etifeddiaeth* yn Basan; ac i'r hanner *arall* y rhoddodd Josua, gyd â'u brodyr, tu yma i'r Iorddonen tu a'r gorllewin. Hefyd pan ollyngodd Josua hwynt i'w pebyll, yna efe a'u bendithiodd hwynt;

8 Ac efe a lefarodd wrthynt, gan ddywedyd, Dychwelwch â chyfoeth mawr i'ch pebyll, ag anifeiliaid lawer iawn, ag arian, ac ag aur, â phres *hefyd*, ac â haiarn, ac â gwisgoedd lawer iawn: [d] rhennwch â'ch brodyr anrhaith eich gelynion. d Num. 31. 27. 1 Sam. 30. 24

9 ¶ A meibion Reuben, a meibion Gad, a hanner llwyth Manasseh, a ddychwelasant, ac a aethant ymaith oddi wrth feibion Israel, o Siloh, yr hon *sydd* yngwlâd Canaan, i fyned i wlad Gilead, i wlad eu meddiant hwy, yr hon a feddiannasant, wrth orchymyn yr ARGLWYDD trwy law Moses.

10 ¶ A phan ddaethant i gyffiniau 'r Iorddonen, y rhai *sydd* yngwlâd Canaan, meibion Reuben, a meibion Gad, a hanner llwyth Manasseh, a adeiladasant yno allor wrth yr Iorddonen, allor fawr mewn golwg.

11 ¶ A chlybu meibion Israel ddywedyd, Wele, meibion Reuben, a meibion Gad, a hanner llwyth Manasseh, a adeiladasant allor ar gyfer gwlad Canaan, wrth derfynau 'r Iorddonen, † gan ystlys meibion Israel. † *wrth rydle.*

12 A phan glybu meibion Israel *hynny*, yna holl gynnulleidfa meibion Israel a ymgynnullasant i Siloh, [e] i ddyfod i fynu yn eu herbyn hwynt i ryfel. e Deut. 13. 15.

13 A meibion Israel a anfonasant at feibion Reuben, ac at feibion Gad, ac at hanner llwyth Manasseh, i wlad Gilead, [f] Phinees mab Eleazar yr offeiriad, f Exod. 6. 25. Num. 25. 7.

14 A deg o dywysogion gyd ag ef, un tywysog o bob tŷ, pennaf trwy holl lwythau Israel; a phob un *oedd* ben yn nhŷ *eu* tadau, ym mysg miloedd Israel.

15 A hwy a ddaethant at feibion Reuben, ac at feibion Gad, ac at hanner llwyth Manasseh, i wlad Gilead; ac a ymddiddanasant â hwynt, gan ddywedyd,

16 Fel hyn y dywed holl gynnulleidfa 'r ARGLWYDD, Pa gamwedd *yw* hwn a wnaethoch yn erbyn DUW Israel, gan ddychwelyd heddyw oddi ar ol yr ARGLWYDD, pan adeiladasoch i chwi allor, i wrthryfela heddyw yn erbyn yr ARGLWYDD?

17 Ai bychan gennym ni anwiredd [g] Peor, yr hwn nid ymlanhasom oddi wrtho etto hyd y dydd hwn (er bod pla ym mysg cynnulleidfa 'r ARGLWYDD) g Num. 25. 3, 4. Deut. 4. 3.

18 Ond bod i chwi droi ymaith heddyw oddi ar ol yr ARGLWYDD? Ac am i chwi wrthryfela heddyw yn erbyn yr ARGLWYDD, efe a lidia y foru yn erbyn holl gynnulleidfa Israel.

19 Ac od *yw* gwlad eich meddiant chwi yn aflan, deuwch drosodd i wlad meddiant yr ARGLWYDD, yr hon y mae tabernacl yr ARGLWYDD yn aros ynddi, a chymmerwch feddiant yn ein mysg ni: ond na wrthryfelwch yn erbyn yr ARGLWYDD, ac na childdynnwch i'n herbyn ninnau, trwy adeiladu o honoch i chwi eich hun allor, heb law allor yr ARGLWYDD ein DUW.

20 [h] Oni wnaeth Achan mab Zerah gamwedd, o herwydd y diofryd-beth, fel y bu digofaint yn erbyn holl gynnulleidfa Israel? ac efe *oedd* un gwr; *etto* nid efe *yn unig* a fu farw am ei anwiredd. h Pen. 7. 1, 5.

21 ¶ Yna meibion Reuben, a meibion Gad, a hanner llwyth Manasseh, a attebasant, ac a lefarasant wrth bennaethiaid miloedd Israel;

22 ARGLWYDD DDUW y duwiau, ARGLWYDD DDUW y duwiau, efe sydd yn gwybod, ac Israel yntau a gaiff wybod, os mewn gwrthryfel, neu mewn camwedd

yn erbyn yr ARGLWYDD *y bu hyn,* (na wa-
reder ni y dydd hwn)
23 Os adeiladasom i ni allor i droi oddi
ar ol yr ARGLWYDD, neu os offrym-
masom arni boeth-offrwm, neu fwyd-
offrwm, neu os aberthasom arni ebyrth
hedd; yr ARGLWYDD ei hun a'i go-
fyno:
24 Ac onid rhag ofn y peth *yma* y
† Heb. *Yforu.* gwnaethom hyn; gan ddywedyd, † Ar ol
hyn eich meibion chwi a adroddant wrth
ein meibion ninnau, gan ddywedyd, Beth
*sydd* i chwi *a wneloch* ag ARGLWYDD DDUW
Israel?
25 Canys yr ARGLWYDD a roddodd yr
Iorddonen hon yn derfyn rhyngom ni a
chwi: meibion Reuben, a meibion Gad,
nid *oes* i chwi ran yn yr ARGLWYDD. Felly
y gwnai eich meibion chwi i'n meibion ni
beidio ag ofni 'r ARGLWYDD.
26 Am hynny y dywedasom, Gan adei-
ladu gwnawn yn awr i ni allor: nid i boeth-
offrwm, nac i aberth;
[l] Gen. 31. 48. Pen. 24. 27. Adn. 34. 27 Eithr *i fod* [l] yn dyst rhyngom ni a
chwi, a rhwng ein hiliogaeth ni ar ein
hol, i *gael o honom* wasanaethu gwasa-
naeth yr ARGLWYDD ger ei fron ef, â'n
poeth-offrymmau, ac â'n hebyrth, ac â'n
hoffrymmau hedd; fel na ddywedo eich
meibion chwi ar ol hyn wrth ein meib-
ion ni, Nid *oes* i chwi ran yn yr AR-
GLWYDD.
28 Am hynny y dywedasom, Pan ddy-
wedont hwy *felly* wrthym ni, neu wrth
ein heppil ar ol hyn; yna y dywedwn nin-
nau, Gwelwch lun allor yr ARGLWYDD,
yr hon a wnaeth ein tadau ni, nid i boeth-
offrwm, nac i aberth; ond *i fod* yn dyst
rhyngom ni a chwi.
29 Na atto Duw i ni wrthryfela yn erbyn
yr ARGLWYDD, a dychwelyd heddyw
oddi ar ol yr ARGLWYDD; gan adeiladu
allor i boeth-offrwm, i fwyd-offrwm, neu i
aberth, heb law allor yr ARGLWYDD ein
Duw yr hon *sydd* ger bron ei dabernacl
ef.
30 ¶ A phan glybu Phinees yr offeiriad, a
thywysogion y gynnulleidfa, a phennaeth-
iaid miloedd Israel y rhai *oedd* gyd ag ef, y
geiriau a lefarasai meibion Reuben, a meib-
ion Gad, a meibion Manasseh, da oedd *y
peth* yn eu golwg hwynt.
31 Phinees mab Eleazar yr offeiriad a
ddywedodd wrth feibion Reuben, ac wrth
feibion Gad, ac wrth feibion Manasseh,
Heddyw y gwybuom *fod* yr ARGLWYDD
yn ein plith; o herwydd na wnaethoch y
‡ Heb. *yna.* camwedd hwn yn erbyn yr ARGLWYDD: ‡ yn
awr gwaredasoch feibion Israel o law'r AR-
GLWYDD.
32 ¶ Am hynny y dychwelodd Phinees
mab Eleazar yr offeiriad, a'r tywysogion,
oddi wrth feibion Reuben, ac oddi wrth
feibion Gad, o wlad Gilead, i wlad Canaan,
at feibion Israel, ac a ddygasant drachefn
air iddynt.
33 A da oedd y peth yngolwg meibion
Israel: a meibion Israel a fendithiasant
DDUW, ac ni soniasant am fyned i fynu yn
eu herbyn hwynt i ryfel, i ddifetha'r wlad
yr oedd meibion Reuben a meibion Gad yn
preswylio ynddi.
34 A meibion Reuben a meibion Gad a
§ Sef, Tyst. Felly Pen. 24. 27. alwasant yr allor § *Ed*: canys tyst *fydd*
hi rhyngom ni, mai 'r ARGLWYDD *sydd*
DDUW.

PEN. XXIII.

1 *Josua yn annog y bobl cyn ei farwolaeth,* Sul 1 ar ol y Drindod, P.
*3 trwy gofio bendithion o'r blaen, 5 trwy* Mawrth 15. P.
*addewidion, 11 a thrwy fygythion.*

A Darfu, ar ol dyddiau lawer wedi i'r Cylch
ARGLWYDD roddi llonyddwch i Israel 1427.
gan eu holl elynion o amgylch, i Josua he-
neiddio *a* myned mewn dyddiau.
2 A Josua a alwodd am holl Israel, am
eu henuriaid, ac am eu pennaethiaid, ac
am eu barnwŷr, ac am eu swyddogion; ac a
ddywedodd wrthynt, Myfi a heneiddiais *ac*
a euthum yn oedrannus:
3 Chwithau hefyd a welsoch yr hyn oll
a wnaeth yr ARGLWYDD eich Duw i'r
holl genhedloedd hyn, er eich mwyn chwi:
canys [a] yr ARGLWYDD eich Duw *yw* yr [a] Exod. 14. 14.
hwn a ymladdodd drosoch.
4 Gwelwch, rhennais i chwi y cenhedl-
oedd hyn a adawyd, yn etifeddiaeth i'ch
llwythau chwi, o'r Iorddonen, a'r holl gen-
hedloedd y rhai a dorrais i ymaith, hyd y
môr mawr tu a † 'r gorllewin. † Heb. *machlud haul.*
5 A'r ARGLWYDD eich Duw a'u hymlid
hwynt o'ch blaen chwi, ac a'u gyrr hwynt
ymaith allan o'ch gŵydd chwi; a chwi a
feddiennwch eu gwlad hwynt, [b] megis y [b] Num. 33. 53.
dywedodd yr ARGLWYDD eich Duw
wrthych.
6 Am hynny ymwrolwch yn lew, i gadw
ac i wneuthur y cwbl sydd ysgrifenedig yn
llyfr cyfraith Moses; [c] fel na chilioch oddi [c] Deut. 5.
wrthynt, tu a'r llaw ddehau na thu a'r llaw 32. a 28. 14.
aswy;
7 Ac na chyd-ymgyfeilloch â'r cenhedl-
oedd yma, y rhai a adawyd gyd â chwi;
ac [d] na chofioch enw eu duwiau hwynt, [d] Exod. 23.
ac na thyngoch *iddynt,* na wasanaethoch 13.
hwynt chwaith, ac nac ymgrymmoch id- Psal. 16. 4. Jer. 5. 7.
dynt: Seph. 1. 5.
8 ‡ Onid [e] glynu wrth yr ARGLWYDD Edrych
eich Duw, fel y gwnaethoch hyd y dydd Num. 32. 38.
hwn. ‡ Neu,
9 § Canys yr ARGLWYDD a yrrodd allan *Oblegid os*
o'ch blaen chwi genhedloedd mawrion a *glynuch.*
nerthol: ac am danoch chwi, ni safodd [e] Deut. 11.
neb yn eich wynebau chwi hyd y dydd 22.
hwn. § Neu,
10 [f] Un gwr o honoch a erlid fil: canys *Yna'r Ar-*
yr ARGLWYDD eich Duw *yw* 'r hwn *glwydd a*
sydd yn ymladd drosoch, [g] fel y llefarodd *yrr, &c.*
wrthych. [f] Lef. 26. 8. Deut. 32. 30.
11 Ymgedwch gan hynny yn ddyfal ar eich Edrych
eneidiau, ar i chwi garu 'r ARGLWYDD eich Barn. 3. 31.
Duw. a 15. 15. 2 Sam. 23. 8.
12 Canys, os gan ddychwelyd y dy- [g] Exod. 14.
chwelwch, ac yr ymlynwch wrth weddill 14. a 23. 27.
y cenhedloedd yma, y rhai a adawyd gyd
â chwi; *os* ymgyfathrechwch â hwynt, ac
*os* ewch i mewn attynt hwy, a hwythau at-
toch chwithau:
13 Gan wybod gwybyddwch, [h] na yrr [h] Barn. 2. 3.
yr ARGLWYDD eich Duw y cenhedloedd
hyn mwyach allan o'ch blaen chwi; [i] ond [i] Exod. 23.
byddant i chwi yn fagl ac yn dramgwydd, 33.
ac yn ffrewyll yn eich ystlysau, ac yn ddrain Num. 33. 55.
yn eich llygaid, nes eich difa chwi allan Deut. 7. 16.
o'r wlad dda yma yr hon a roddodd yr AR-
GLWYDD eich Duw i chwi.
14 Ac wele, [k] fi yn myned heddyw i ffordd [k] 1 Bren. 2.
yr holl ddaear: a chwi a wyddoch yn eich 2.
holl galonnau, ac yn eich holl eneidiau, Edrych Heb. 9. 27
[l] na phallodd dim o'r holl bethau daionus [l] Pen. 21.
a lefarodd yr ARGLWYDD eich Duw am 45.
danoch chwi; hwy a ddaethant oll i chwi,
ac ni phallodd dim o honynt.

15 Ac fel y daeth i chwi bob peth daionus a addawodd yr ARGLWYDD eich Duw wrthych; felly y dwg yr ARGLWYDD arnoch chwi m bob peth drygionus, nes eich difa chwi allan o'r wlad dda yma a roddodd yr ARGLWYDD eich Duw i chwi.

m Lef. 26. 16. Deut. 28. 15, 16.

16 Pan droseddoch gyfammod yr ARGLWYDD eich Duw, a orchymynodd efe i chwi, a myned a gwasanaethu duwiau dieithr, ac ymgrymmu iddynt; yna y llidia digofaint yr ARGLWYDD yn eich erbyn chwi, ac y cyfrgollir chwi yn ebrwydd o'r wlad dda yma a roddodd efe i chwi.

## PEN. XXIV.

*1 Josua yn cynnull y llwythau yn Sichem. 2 Histori fer o fendithion Duw er amser Terah. 14 Mae efe yn adnewyddu cyfammod rhyngddynt hwy a Duw. 26 Carreg yn dyst o'r cyfammod. 29 Oedran Josua; ei farwolaeth, a'i gladdedigaeth. 32 Claddu esgyrn Joseph. 33 Marwolaeth Eleazar.*

Cylch 1427.

A Josua a gynhullodd holl lwythau Israel i Sichem; ac a alwodd am henuriaid Israel, ac am eu pennaethiaid, ac am eu barnwyr, ac am eu swyddogion: a hwy a safasant ger bron Duw.

2 A dywedodd Josua wrth yr holl bobl, Fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW Israel; a Tu hwnt i'r afon y trigodd eich tadau chwi gynt, *sef* Terah tad Abraham, a thad Nachor: a b hwy a wasanaethasant dduwiau dieithr.

a Gen. 11. 26, 31. a 12. 1. Judith 5. 6, 7. b Gen. 31. 53.

3 Ac c mi a gymmerais eich tad Abraham ymaith o'r tu hwnt i'r afon, ac a'i harweiniais ef trwy holl wlad Canaan, ac a amlhêais hefyd ei had ef, ac d a roddais iddo Isaac.

c Gen. 12. 1. d Gen. 21. 2.

4 Ac i Isaac y rhoddais e Jacob ac Esau: ac i f Esau y rhoddais fynydd Seir i'w etifeddu; g ond Jacob a'i feibion a aethant i wared i'r Aipht.

e Gen. 25. 24, 26. f Gen. 36. 8. Deut. 2. 5. g Gen. 46. 1, 6.

5 A h mi a anfonais Moses ac Aaron, ac a darewais yr Aiphtiaid, yn ol yr hyn a wneuthum yn eu mysg: ac wedi hynny i y dygais chwi allan.

h Exod. 3. 10. i Exod. 12. 37.

6 Ac a ddygais eich tadau chwi allan o'r Aipht: k chwi a ddaethoch at y môr; a'r Aiphtiaid a erlidiodd ar ol eich tadau â cherbydau, ac â gwŷr meirch, hyd l y môr coch.

k Exod. 14. 2. l Exod. 14. 9.

7 A phan waeddasant ar yr ARGLWYDD, efe a osododd dywyllwch rhyngoch chwi a'r Aiphtiaid, ac a ddug y môr arnynt hwy, ac a'u gorchuddiodd: eich llygaid chwi a welsant yr hyn a wneuthum yn yr Aipht: trigasoch *hefyd* yn yr anialwch ddyddiau lawer.

8 A mi a'ch dygais i wlad yr Amoriaid, y rhai oedd yn trigo o'r tu hwnt i'r Iorddonen; m a hwy a ymladdasant i'ch erbyn: a myfi a'u rhoddais hwynt yn eich llaw chwi, fel y meddiannasoch eu gwlad hwynt; a minnau a'u difethais hwynt o'ch blaen chwi.

m Num. 21. 21, 33. Deut. 2. 32.

9 Yna n Balac mab Sippor brenhin Moab, a gyfododd, ac a ryfelodd yn erbyn Israel; ac o a anfonodd, ac a alwodd am Balaam fab Beor, i'ch melldigo chwi.

n Edrych Barn. 11. 25. o Num. 22. 5. Deut. 23. 4.

10 Ond ni fynnwn i wrando ar Balaam; am hynny gan fendithio y bendithiodd efe chwi: felly y gwaredais chwi o'i law ef.

11 A p chwi a aethoch dros yr Iorddonen, ac a ddaethoch i Jericho: a q gwŷr Jericho a ymladdodd i'ch erbyn, yr Amoriaid, a'r Phereziaid, a'r Canaaneaid, a'r Hethiaid, a'r Girgasiaid, yr Hefiaid, a'r Jebusiaid; a mi a'u rhoddais hwynt yn eich llaw chwi.

p Pen. 3. 14. q Pen. 6. 1. a 10. 1. a 11. 1.

12 A r mi a anfonais gacwn o'ch blaen chwi, a'r *rhai hynny* a'u gyrrodd hwynt allan o'ch blaen chwi; *sef* dau frenhin yr Amoriaid: s nid â'th gleddyf di, ac nid â'th fwa.

r Exod. 23. 28. Deut. 7. 20. s Psal. 44. 3, 6.

13 A mi a roddais i chwi wlad ni lafuriasoch am dani, a t dinasoedd y rhai nid adeiladasoch, ac yr ydych yn trigo ynddynt: o'r gwinllannoedd, a'r olew-lannoedd, ni phlannasoch, yr ydych yn bwytta o honynt.

t Deut. 6. 10, 11.

14 ¶ Yn awr gan hynny ofnwch yr ARGLWYDD, a gwasanaethwch ef mewn perffeithrwydd a gwirionedd, a bwriwch ymaith y duwiau a wasanaethodd eich tadau o'r tu hwnt i'r afon, ac u yn yr Aipht; a gwasanaethwch chwi yr ARGLWYDD.

u Lef. 17. 7. Ezec. 20. 8. a 23. 3.

15 Ac od yw ddrwg yn eich golwg wasanaethu 'r ARGLWYDD, x dewiswch i chwi heddyw pa un a wasanaethoch, ai 'r duwiau a wasanaethodd eich tadau, y rhai *oedd* o'r tu hwnt i'r afon, ai ynte duwiau 'r Amoriaid, y rhai 'r ydych yn trigo yn eu gwlad: ond myfi, mi a'm tylwyth a wasanaethwn yr ARGLWYDD.

x Edrych Ruth 1. 15. 1 Bren. 18. 21. Ezec. 20. 39. Ioan 6. 67.

16 Yna 'r attebodd y bobl, ac y dywedodd, Na atto Duw i ni adael yr ARGLWYDD, i wasanaethu duwiau dieithr.

17 Canys yr ARGLWYDD ein Duw *yw*'r hwn a'n dug ni i fynu a'n tadau o wlad yr Aipht, o dŷ'r caethiwed; a'r hwn a wnaeth y rhyfeddodau mawrion hynny yn ein gŵydd ni, ac a'n cadwodd ni yn yr holl ffordd y rhodiasom ynddi, ac ym mysg yr holl bobloedd y tramwyasom yn eu plith.

18 A'r ARGLWYDD a yrrodd allan yr holl bobloedd, a'r Amoriaid, preswylwŷr y wlad o'n blaen ni: *am hynny* ninnau a wasanaethwn yr ARGLWYDD; canys efe *yw* ein Duw ni.

19 A Josua a ddywedodd wrth y bobl, Ni ellwch wasanaethu 'r ARGLWYDD; canys Duw sancteiddiol *yw* efe: Duw eiddigus yw; y ni ddioddef efe eich anwiredd, na'ch pechodau.

y Exod. 23. 21.

20 O gwrthodwch yr ARGLWYDD, a gwasanaethu duwiau dieithr; z yna efe a dry, ac a'ch dryga chwi, ac efe a'ch difa chwi, wedi iddo wneuthur i chwi ddaioni.

z Pen. 23. 15.

21 A'r bobl a ddywedodd wrth Josua, Nag ê; eithr ni a wasanaethwn yr ARGLWYDD.

22 A dywedodd Josua wrth y bobl, Tystion *ydych* yn eich erbyn eich hun, a ddewis o honoch i chwi'r ARGLWYDD i'w wasanaethu. Dywedasant hwythau, Tystion *ydym*.

a Psal. 119. 173.

23 Am hynny yn awr *(eb efe)* bwriwch ymaith y duwiau dieithr *sydd* yn eich mysg, a gostyngwch eich calon at ARGLWYDD DDUW Israel.

24 A'r bobl a ddywedasant wrth Josua, Yr ARGLWYDD ein Duw a wasanaethwn, ac ar ei lais ef y gwrandâwn.

25 Felly Josua b a wnaeth gyfammod â'r bobl y dwthwn hwnnw, ac a osododd iddynt ddeddfau, a barnedigaethau, yn Sichem.

b Edrych Exod. 15. 25.

26 ¶ A Josua a 'sgrifenodd y geiriau hyn yn llyfr cyfraith DUW, ac a gymmerth c faen mawr, ac a'i gosododd i fynu yno d dan dderwen *oedd* yn agos i gyssegr yr ARGLWYDD.

c Edrych Barn. 9. 6. d Gen. 35. 4.

27 A Josua a ddywedodd wrth yr holl
bobl, Wele, y maen hwn fydd yn dystiolaeth
e Edrych Deut. 32. 1. i ni; canys [e] efe a glywodd holl eiriau'r AR-
GLWYDD, y rhai a lefarodd efe wrthym:
am hynny y bydd efe yn dystiolaeth i chwi,
rhag i chwi wadu eich DUW.
f Barn. 2. 6. 28 Felly [f] Josua a ollyngodd y bobl, bob
un i'w etifeddiaeth.
29 ¶ Ac wedi'r pethau hyn, y bu farw
Josua mab Nun, gwas yr ARGLWYDD, yn
fab dengmlwydd a chant.
30 A hwy a'i claddasant ef yn nherfyn
g Pen. 19. 50. Barn. 2. 9. ei etifeddiaeth, o fewn [g] Timnath-serah;
yr hon *sydd* ym mynydd Ephraim, o du'r
gogledd i fynydd Gaas.

31 Ac [h] Israel a wasanaethodd yr AR- h Barn. 2. 7.
GLWYDD holl ddyddiau Josua, a holl ddy- † Heb. *estynasant eu dyddiau.*
ddiau'r henuriaid a † fu fyw ar ol Josua, ac
a wybuasant holl waith yr ARGLWYDD a
wnaethai efe er Israel. i Gen. 50. 25.
32 ¶ Ac [i] esgyrn Joseph, y rhai a ddyg-
asai meibion Israel i fynu o'r Aipht, a Exod. 13. 19.
gladdasant hwy yn Sichem, mewn rhan o'r k Gen. 33. 19.
maes a brynasai Jacob gan [k] feibion Hemor
tad Sichem, er ‡ can darn o arian; a bu i ‡ Neu, *cant o ŵyn.*
feibion Joseph yn etifeddiaeth.
33 ¶ Ac Eleazar mab Aaron a fu farw: a Cylch
chladdasant ef ym mryn [l] Phinees ei fab, 1420.
yr hwn a roddasid iddo ef ym mynydd l Barn. 20. 28.
Ephraim.

# ¶ LLYFR Y BARNWYR.

## PEN. I.

Mawrth 16. P.
1 *Gweithredoedd Judah a Simeon.* 6 *Adoni-bezec yn cael talu'r pwyth iddo yn union.* 8 *Ynnill Jerusalem.* 10 *Ynnill Hebron.* 13 *Othniel yn cael Achsah yn wraig am ynnill Debir.* 16 *Y Ceneaid yn preswylio yn Judah.* 17 *Ynnill Hormah, Gazah, Ascalon, ac Ecron.* 21 *Gweithredoedd Benjamin.* 22 *Am dŷ Joseph, yr hwn a ynnillodd Bethel.* 30 *Am Zabulon,* 31 *Aser,* 33 *Naphtali,* 34 *a Dan.*

Cyn Crist cylch 1425.
AC wedi marw Josua, meibion Israel
[a] a ymofynasant â'r ARGLWYDD, gan
ddywedyd, Pwy a â i fynu drosom ni yn
erbyn y Canaaneaid yn flaenaf, i ymladd â
a Num. 27. 21. Pen. 20. 18. hwynt?
2 A dywedodd yr ARGLWYDD, Judah a
â i fynu: wele, rhoddais y wlad yn ei
law ef.
3 A Judah a ddywedodd wrth Simeon ei
frawd, Tyred i fynu gyd â mi i'm rhandir,
fel yr ymladdom yn erbyn y Canaaneaid; a
minnau a af gyd â thi i'th randir dithau.
Felly Simeon a aeth gyd ag ef.
4 A Judah a aeth i fynu; a'r ARGLWYDD
a roddodd y Canaaneaid a'r Phereziaid yn
eu llaw hwynt: a lladdasant o honynt, yn
Bezec, ddengmil o wŷr.
5 A hwy a gawsant Adoni-bezec yn Be-
zec: ac a ymladdasant yn ei erbyn; ac a
laddasant y Canaaneaid a'r Phereziaid.
6 Ond Adoni-bezec a ffodd; a hwy a er-
lidiasant ar ei ol ef, ac a'i daliasant ef, ac a
dorrasant fodiau ei ddwylaw ef a'i draed.
7 Ac Adoni-bezec a ddywedodd, Deg a
thrugain o frenhinoedd, wedi torri bodiau
† Neu, hela. eu dwylaw a'u traed, a fu yn † casglu *eu*
*bwyd* dan fy mwrdd i: fel y gwneuthum,
felly y talodd DUW i mi. A hwy a'i dygas-
ant ef i Jerusalem; ac efe a fu farw yno.
b Edrych Jos. 15. 63. 8 (A [b] meibion Judah a ymladdasant yn
erbyn Jerusalem; ac a'i hynnillasant hi, ac
a'i tarawsant â min y cleddyf; a llosgasant
y ddinas â thân)
c Jos. 10. 36. a 11. 21. a 15. 13. 9 ¶ [c] Wedi hynny meibion Judah a aeth-
ant i wared i ymladd yn erbyn y Canaan-
eaid oedd yn trigo yn y mynydd, ac yn y
dehau, ac yn y gwastadedd.
10 A Judah a aeth yn erbyn y Canaaneaid
oedd yn trigo yn Hebron (ac enw Hebron
d Jos. 15. 13. o'r blaen *oedd* [d] Caer Arba) a hwy a ladd-
asant Sesai, ac Ahiman, a Thalmai.
e Jos. 15. 15, &c. 11 Ac [e] efe a aeth oddi yno at drigolion
Debir (ac enw Debir o'r blaen *oedd* Ciriath-
sepher)

12 A dywedodd Caleb, Yr hwn a da- 1444.
rawo Ciriath-sepher, ac a'i hynnillo hi,
mi a roddaf Achsah fy merch yn wraig
iddo.
13 Ac [f] Othniel mab Cenaz, brawd f Pen. 3. 9.
Caleb, ieuangach nag ef, a'i hynnillodd hi.
Yntau a roddes Achsah ei ferch yn wraig
iddo.
14 A phan ddaeth hi i mewn *atto ef,* hi
a'i hannogodd ef i geisio gan ei thad *ryw*
faes: a hi a ddisgynodd oddi ar yr asyn. A
dywedodd Caleb wrthi, Beth a fynni di?
15 A hi a ddywedodd wrtho, Dyro i mi
fendith: canys gwlad y dehau a roddaist i
mi; dyro i mi hefyd ffynhonnau dyfroedd.
A Caleb a roddodd iddi y ffynhonnau
uchaf, a'r ffynhonnau isaf.
16 ¶ A [g] meibion Ceni, chwegrwn Moses, g Edrych
a aethant i fynu o [h] ddinas y palmwŷdd Pen. 4. 17.
gyd â meibion Judah, i anialwch Judah, yr 1 Sam. 15. 6.
hwn *sydd* yn nehau [i] Arad: a hwy a aethant 1 Chron. 2.
ac a drigasant gyd â'r bobl. 55.
17 A Judah a aeth gyd â Simeon ei frawd: Jer. 35. 2.
a hwy a darawsant y Canaaneaid oedd h Deut. 34. 3.
yn preswylio yn Sephath, ac a'i difrod-
asant hi. Ac efe a alwodd enw'r ddinas i Num. 21. 1.
[k] Hormah. k Num. 21. 3.
18 Judah hefyd a ynnillodd Gazah a'i ther-
fynau, ac Ascalon a'i therfynau, ac Ecron
a'i therfynau.
19 A'r ARGLWYDD oedd gyd â Judah; ac
efe a oresgynodd y mynydd: ond ni *allai*
*efe* yrru allan *drigolion* y dyffryn; canys
[l] cerbydau heiyrn *oedd* ganddynt. l Jos. 17.
20 [m] Ac i Caleb y rhoisant Hebron; fel y 16, 18.
llefarasai Moses: ac efe a yrrodd oddi yno m Num. 14.
dri mab Anac. 24.
21 Ond meibion Benjamin ni yrrasant Jos. 14. 9, 13. a 15. 13.
allan y Jebusiaid y rhai oedd yn preswylio
yn Jerusalem: ond y mae'r Jebusiaid yn
trigo yn Jerusalem gyd â meibion Benjamin
hyd y dydd hwn.
22 ¶ A thŷ Joseph, hwythau hefyd a
aethant i fynu yn erbyn Bethel: a'r AR-
GLWYDD *oedd* gyd â hwynt.
23 A thylwyth Joseph a barasant chwilio
Bethel (ac enw y ddinas o'r blaen *oedd*
[n] Luz) n Gen. 28.
24 A'r ysbïwŷr a welsant wr yn dyfod 19.
allan o'r ddinas; ac a ddywedasant wrtho,
Dangos i ni, attolwg, y ffordd yr eir i'r ddi-
nas, a [o] ni a wnawn drugaredd â thi. o Jos. 2.
25 A phan ddangosodd efe iddynt hwy y 12, 14.
ffordd i fyned i'r ddinas, hwy a darawsant
y ddinas â min y cleddyf; ac a ollyngasant
ymaith y gwr a'i holl deulu.

26 A'r gwr a aeth i wlad yr Hethiaid; ac a adeiladodd ddinas, ac a alwodd ei henw Luz: dyma ei henw hi hyd y dydd hwn.

p Jos. 17. 11, 12, 13.
27 ¶ p Ond ni oresgynodd Manasseh, Beth-sean na'i threfydd, na Thaanach na'i threfydd, na thrigolion Dor na'i threfydd, na thrigolion Ibleam na'i threfydd, na thrigolion Megido na'i threfydd: eithr mynnodd y Canaaneaid breswylio yn y wlad honno.

28 Ond pan gryfhaodd Israel, yna efe a osododd y Canaaneaid dan dreth; ond ni's gyrrodd hwynt ymaith yn llwyr.

q Jos. 16. 10. 1 Bren. 9. 16.
29 ¶ q Ephraim hefyd ni yrrodd allan y Canaaneaid oedd yn gwladychu yn Gezer: eithr y Canaaneaid a breswyliasant yn eu mysg hwynt yn Gezer.

r Jos. 19. 51.
30 ¶ r A Zabulon ni yrrodd ymaith drigolion Citron, na phreswylwŷr Nahalol; eithr y Canaaneaid a wladychasant yn eu mysg hwynt, ac a aethant dan dreth.

s Jos. 19. 30.
31 ¶ s Ac Aser ni yrrodd ymaith drigolion Acco, na thrigolion Sidon, nac Alab, nac Achzib, na Helbah, nac Aphic, na Rehob:

32 Ond Aser a drigodd ym mysg y Canaaneaid, trigolion y wlad; canys ni yrrasant hwynt allan.

33 ¶ A Naphtali ni yrrodd allan breswylwŷr Beth-semes, na thrigolion Beth-anath; eithr efe a wladychodd ym mysg y Canaaneaid, trigolion y wlad: er hynny preswylwŷr Beth-semes a Beth-anath oedd dan dreth iddynt.

34 ¶ A'r Amoriaid a yrrasant feibion Dan i'r mynydd: canys ni adawsant iddynt ddyfod i wared i'r dyffryn.

t Jos. 19. 42.
† Heb. *'u arem.*
35 A'r Amoriaid a fynnai breswylio ym mynydd Heres t yn Ajalon, ac yn Saalbim: etto llaw tŷ Joseph a † orthrechodd, a'r *Amoriaid* fuant dan dreth *iddynt.*

§ Neu, *Maaleh Acrabbim.* Num. 34. 4.
36 A therfyn yr Amoriaid *oedd* o § riw Acrabbim, o'r graig, ac uchod.

## PEN. II.

Mawrth 17. B.
1 *Angel yn ceryddu'r bobl yn Bochim.* 10 *Drygioni'r oes newydd ar ol Josua.* 14 *Digllonedd Duw a'i drugaredd tu ag attynt.* 20 *Gadael y Canaaneaid i brofi Israel.*

Cylch 1425.
† Neu, *chennad.*
a Gen. 17. 7.
AC † angel yr ARGLWYDD a ddaeth i fynu o Gilgal i Bochim, ac a ddywedodd, Dygais chwi i fynu o'r Aipht, ac arweiniais chwi i'r wlad *am* yr hon y tyngais wrth eich tadau; ac a a ddywedais, Ni thorraf fy nghyfammod â chwi byth.

b Deut. 7. 2.
c Deut. 12. 3.
2 b Na wnewch chwithau gyfammod â thrigolion y wlad hon; *ond* c bwriwch i lawr eu hallorau: etto ni wrandawsoch ar fy llef: pa ham y gwnaethoch hyn?

d Jos. 23. 13.
e Exod. 23. 33. a 34. 12. Deut. 7. 16.
3 Am hynny d y dywedais, Ni yrraf hwynt allan o'ch blaen chwi: eithr byddant i chwi *yn ddrain* yn eich ystlysau, e a'u duwiau fydd yn fagl i chwi.

4 A phan lefarodd angel yr ARGLWYDD y geiriau hyn wrth holl feibion Israel, yna'r bobl a ddyrchafasant eu llef, ac a wylasant.

‡ Sef, *Rhai yn wylo.*
5 Ac a alwasant enw y lle hwnnw ‡ Bochim: ac yna'r aberthasant i'r ARGLWYDD.

Cylch 1444.
f Jos. 24. 28.
6 ¶ A f Josua a ollyngodd y bobl ymaith; a meibion Israel a aethant bob un i'w etifeddiaeth, i feddiannu'r wlad.

§ Heb. *estynasant ddyddiau.*
7 A'r bobl a wasanaethasant yr ARGLWYDD holl ddyddiau Josua, a holl ddyddiau'r henuriaid y rhai a § fu fyw ar ol Josua, y rhai a welsent holl fawrwaith yr ARGLWYDD, yr hwn a wnaethai efe er Israel.

Cylch 1426.
g Jos. 24. 29.
8 A g bu farw Josua mab Nun, gwas yr ARGLWYDD, yn fab dengmlwydd a chant.

h Jos. 19. 50. a 24. 30 *Timnath-serah.*
9 A hwy a'i claddasant ef yn nherfyn ei etifeddiaeth, o fewn h Timnath-heres, ym mynydd Ephraim, o du'r gogledd i fynydd Gaas.

10 A'r holl oes honno hefyd a gasglwyd at eu tadau: a chyfododd oes arall ar eu hol hwynt, y rhai nid adwaenent yr ARGLWYDD, na'i weithredoedd a wnaethai efe er Israel.

11 ¶ A meibion Israel a wnaethant ddrygioni yngolwg yr ARGLWYDD, ac a wasanaethasant Baalim:

Cylch 1406.
12 Ac a wrthodasant ARGLWYDD DDUW eu tadau, yr hwn a'u dygasai hwynt o wlad yr Aipht, ac a aethant ar ol duwiau dïeithr, *sef rhai* o dduwiau'r bobloedd *oedd* o'u hamgylch, ac a ymgrymmasant iddynt, ac a ddigiasant yr ARGLWYDD.

13 A hwy a wrthodasant yr ARGLWYDD, ac a wasanaethasant Baal ac Astaroth.

i Psal. 44. 12. Esay 50. 1.
14 ¶ A llidiodd digllonedd yr ARGLWYDD yn erbyn Israel; ac i efe a'u rhoddodd hwynt yn llaw'r anrheithwŷr, y rhai a'u hanrheithiasant hwy; ac efe a'u gwerthodd hwy i law eu gelynion o amgylch, fel na allent sefyll mwyach yn erbyn eu gelynion.

k Lef. 26. Deut. 28.
15 I ba le bynnag yr aethant, llaw'r ARGLWYDD oedd er drwg yn eu herbyn hwynt; k fel y llefarasai'r ARGLWYDD, ac fel y tyngasai'r ARGLWYDD wrthynt hwy: a bu gyfyng iawn arnynt.

16 ¶ Etto'r ARGLWYDD a gododd farnwŷr, y rhai a'u hachubodd hwynt o law eu hanrheithwŷr.

17 Ond ni wrandawent chwaith ar eu barnwŷr; eithr puttteiniasant ar ol duwiau dïeithr, ac ymgrymmasant iddynt: ciliasant yn ebrwydd o'r ffordd y rhodiasai eu tadau hwynt ynddi, gan wrando ar orchymynion yr ARGLWYDD; *ond* ni wnaethant hwy felly.

l Edrych Gen. 6. 6.
18 A phan godai'r ARGLWYDD farnwŷr arnynt hwy, yna'r ARGLWYDD fyddai gyd â'r barnwr, ac a'u gwaredai hwynt o law eu gelynion holl ddyddiau'r barnwr: canys l yr ARGLWYDD a dosturiai wrth eu griddfan hwynt, rhag eu gorthrymwŷr a'u cystuddwŷr.

m Pen. 3. 12.
‖ Heb. *ni ollyngasant ddim o'u gweithredoedd,* &c.
19 A m phan fyddai farw y barnwr, hwy a ddychwelent, ac a ymlygrent yn fwy na'u tadau, gan fyned ar ol duwiau dïeithr, i'w gwasanaethu hwynt, ac i ymgrymmu iddynt: ni ‖ pheidiasant â'u gweithredoedd eu hunain, nac â'u ffordd wrthnysig.

20 ¶ A digllonedd yr ARGLWYDD a lidiai yn erbyn Israel: ac efe a ddywedai, Oblegid i'r genedl hon droseddu fy nghyfammod a orchymynais i'w tadau hwynt, ac na wrandawsant ar fy llais;

n Jos. 23. 13.
21 n Ninnau ni 'chwanegaf finnau yrru ymaith o'u blaen hwynt neb o'r cenhedloedd a adawodd Josua pan fu farw:

o Pen. 3. 4.
22 o I brofi Israel trwyddynt hwy, a gadwent hwy ffordd yr ARGLWYDD, gan rodio ynddi, fel y cadwodd eu tadau hwynt, neu beidio.

† Neu, *oddefodd.*
23 Am hynny yr ARGLWYDD a † adawodd y cenhedloedd hynny, heb eu gyrru ymaith yn ebrwydd; ac ni roddodd hwynt yn llaw Josua.

## PEN. III.

Mawrth 17. P. 1 *Y cenhedloedd a adawyd i brofi Israel. 5 Ac Israel, wrth ymgyfeillach â hwynt, yn addoli eu duwiau hwy. 8 Othniel yn eu gwaredu hwy oddi wrth Cusan-risathaim; 15 Ehwd, oddi wrth Eglon; 31 a Samgar, oddi wrth y Philistiaid.*

Cylch 1406. DYMA 'r cenhedloedd a adawodd yr
ARGLWYDD i brofi Israel trwyddynt
(*sef* y rhai oll ni wyddent gwbl o ryfeloedd
Canaan;
2 Yn unig i beri i genhedlaethau meibion
Israel wybod, i'w dysgu hwynt i ryfel; y rhai
yn ddïau ni wyddent hynny o'r blaen)
[a] Jos. 13. 3. 3 [a] Pum tywysog y Philistiaid, a'r holl
Canaaneaid, a'r Sidoniaid, a'r Hefiaid y
rhai oedd yn aros ym mynydd Libanus, o
fynydd Baal-hermon, hyd y ffordd y deuir i
Hamath.
4 A hwy a fuant i brofi Israel trwydd-
ynt, i wybod a wrandawent hwy ar or-
chymynion yr ARGLWYDD, y rhai a or-
chymynasai efe i'w tadau hwynt trwy law
Moses.
5 ¶ A meibion Israel a drigasant ym
mysg y Canaaneaid, yr Hethiaid, a'r Amor-
iaid, a'r Phereziaid, yr Hefiaid *hefyd*, a'r
Jebusiaid:
[b] Exod. 34. 16. 6 Ac [b] a gymmerasant eu merched hwynt
iddynt yn wragedd, ac a roddasant eu merch-
Deut. 7. 3. ed i'w meibion hwythau, ac a wasanaethasant
eu duwiau hwynt.
7 Felly meibion Israel a wnaethant ddryg-
[c] Exod. 14. 13. ioni yngolwg yr ARGLWYDD, ac a ang-
Deut. 16. 21. hofiasant yr ARGLWYDD eu DUW, ac a
wasanaethasant Baalim, a'r [c] llwyni.
Pen. 6. 25. 8 ¶ Am hynny digllonedd yr AR-
[d] Hab. 3. 7. GLWYDD a lidiodd yn erbyn Israel; ac efe
† Heb. *Aram-naharaim.* a'u gwerthodd hwynt i law [d] Cusan-risath-
aim, brenhin † Mesopotamia: a meibion
Cylch 1402. Israel a wasanaethasant Cusan-risathaim
wyth mlynedd.
Cylch 1394. 9 A meibion Israel a waeddasant ar yr
ARGLWYDD: a'r ARGLWYDD a gododd
achubwr i feibion Israel, yr hwn a'u ha-
[e] Pen. 1. 13. chubodd hwynt; *sef* [e] Othniel mab Cenaz,
brawd Caleb, ieuangach nag ef.
[f] Edrych Num. 27. 18. 10 Ac [f] yspryd yr ARGLWYDD ‡ a ddaeth
arno ef, ac efe a farnodd Israel, ac a aeth
1 Sam. 11. 6. allan i ryfel: a'r ARGLWYDD a roddodd yn
ei law ef Cusan-risathaim, brenhin § Meso-
‡ Heb. *oedd.* potamia; a'i law ef oedd drech nâ Cusan-
risathaim.
§ Heb. *Aram.* 11 A'r wlad a gafodd lonydd ddeugain
mlynedd. A bu farw Othniel mab Cenaz.
Cylch 1354. 12 ¶ A meibion Israel a chwanegasant
wneuthur yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr
ARGLWYDD: a'r ARGLWYDD a nerthodd
[g] 1 Sam. 12. 9. [g] Eglon brenhin Moab yn erbyn Israel, am
iddynt wneuthur drygioni yngolwg yr AR-
GLWYDD.
13 Ac efe a gasglodd atto feibion Ammon,
ac Amalec, ac a aeth ac a darawodd Israel; a
hwy a feddiannasant ddinas y palmwŷdd.
14 Felly meibion Israel a wasanaethasant
Eglon frenhin Moab ddeunaw mlynedd.
Cylch 1336. 15 Yna meibion Israel a lefasant ar yr
ARGLWYDD: a'r ARGLWYDD a gododd
achubwr iddynt; *sef* Ehwd mab Gera, fab
‖ Heb. *analfus o'i law ddehau.* Jemini, gwr ‖ llaw-chwith: a meibion Israel
a anfonasant anrheg gyd ag ef i Eglon bren-
hin Moab.
Pen. 20. 16. 16 Ac Ehwd a wnaeth iddo ddager ddau
finiog o gufydd ei hŷd, ac a'i gwregysodd
dan ei ddillad, ar ei glun ddehau.
17 Ac efe a ddug yr anrheg i Eglon fren-
hin Moab. Ac Eglon *oedd* wr tew iawn.
18 A phan ddarfu iddo ef gyflwyno'r
anrheg, efe a ollyngodd ymaith y bobl a
ddygasai 'r anrheg.
19 Ond efe ei hun a drodd oddi wrth y
† chwarelau *oedd* yn Gilgal, ac a ddywed- † Neu, *delwau cerfiedig.*
odd, *Y mae* i mi air o gyfrinach â thi, O
frenhin. Dywedodd yntau, Gosteg. A'r
holl rai oedd yn sefyll yn ei ymyl ef a
aethant allan oddi wrtho ef.
20 Ac Ehwd a ddaeth i mewn atto ef:
ac yntau oedd yn eistedd mewn ystafell
‡ haf; yr hon *oedd* iddo ef ei hunan. A ‡ Heb. *ymoeri.*
dywedodd Ehwd, Gair oddi wrth DDUW
*sydd* gennyf attat ti. Ac efe a gyfododd Edrych Amos 3. 15.
oddi ar *ei* orseddfa.
21 Ac Ehwd a estynodd ei law aswy, ac a
gymmerth y ddager oddi ar ei glun ddehau,
ac a'i brathodd hi yn ei botten ef.
22 A'r carn a aeth i mewn ar ol y llafn,
a'r brasder a ymgauodd am y llafn, fel na
allai dynnu'r ddager allan o'i botten; a'r
dom a ddaeth allan.
23 Yna Ehwd a aeth allan trwy 'r cyntedd,
ac a gauodd ddrysau'r ystafell arno, ac a'i
clôdd.
24 Pan aeth efe ymaith, ei weision a
ddaethant: a phan welsant, wele, *yr oedd* drys-
au'r ystafell yn gloïedig, hwy a ddywedas-
ant, Dïau § esmwythâu ei gorph y mae efe § Heb. *caddio ei draed.*
yn yr ystafell haf.
25 A hwy a ddisgwyliasant, nes cywi-
lyddio *o honynt*: ac wele, nid oedd efe yn
agori drysau'r ystafell. Yna hwy a gym-
merasant agoriad, ac a agorasant: ac wele,
eu harglwydd hwy wedi cwympo i lawr yn
farw.
26 Ac Ehwd a ddïangodd, tra fuant hwy
yn aros; ac efe a aeth y tu hwnt i'r chwa-
relau, ac a ddïangodd i Seirath.
27 A phan ddaeth, [h] efe a udganodd [h] Pen. 6. 34.
mewn udgorn ym mynydd Ephraim: a
meibion Israel a ddisgynasant gyd ag ef o'r
mynydd, ac yntau o'u blaen hwynt.
28 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Can-
lynwch fi: canys yr ARGLWYDD a rodd-
odd eich gelynion chwi, *sef* Moab, yn eich
llaw chwi. A hwy a aethant i wared ar
ei ol ef, ac a ynnillasant rydau'r Iorddonen
tu a Moab, ac ni adawsant i neb fyned
drwodd.
29 ¶ A hwy a darawsant o'r Moabiaid y
pryd hynny ynghylch deng mil o wŷr, pawb
yn ‖ rymmus, a phawb yn wŷr nerthol; ac ‖ Heb. *frasion.*
ni ddïangodd neb.
30 Felly y darostyngwyd Moab y dwthwn
hwnnw dan law Israel. A'r wlad a gafodd
lonydd bedwar ugain mlynedd. [i] Pen. 5. 6, 8.
31 ¶ Ac ar ei ol ef y bu Samgar mab
Anath; ac efe a darawodd o'r Philistiaid Cylch 1306.
chwe-channwr [i] ag † irai ychen: yntau hefyd 1 Sam. 13. 19, 22.
a waredodd Israel. † *ierthi.*

## PEN. IV.

1 *Deborah a Barac yn eu gwaredu hwy oddi wrth Jabin a Sisera. 21 Jäel yn lladd Sisera.* Mawrth 18. B.

A Meibion Israel a 'chwanegasant wneu- Cylch 1316.
thur drygioni yngolwg yr ARGLWYDD,
wedi marw Ehwd.
2 A'r ARGLWYDD [a] a'u gwerthodd [a] Pen. 2. 14.
hwynt i law Jabin brenhin Canaan, yr hwn
oedd yn teyrnasu yn Hazor: a thywysog [b] 1 Sam. 12. 9.
ei lu ef *oedd* [b] Sisera; ac efe oedd yn trigo Psal. 83. 9.
yn Haroseth y cenhedloedd.
3 A meibion Israel a lefasant ar yr AR-

[c] Pen. 1. 19.

GLWYDD: canys naw can [c] cerbyd haiarn *oedd* ganddo ef; ac efe a orthrymmodd feibion Israel yn dost ugain mlynedd.

4 ¶ A Deborah y brophwydes, gwraig Lapidoth, y hi oedd yn barnu Israel yr amser hwnnw.

5 Ac yr oedd hi yn trigo dan balmwŷdden Deborah, rhwng Ramah a Bethel, ym mynydd Ephraim: a meibion Israel a ddeuent i fynu atti hi am farn.

Cylch 1296.

[d] Heb. 11. 32.

6 A hi a anfonodd, ac a alwodd am [d] Barac fab Abinoam, o Cedes Naphtali; ac a ddywedodd wrtho, Oni orchymynodd ARGLWYDD DDUW Israel, *gan ddywedyd*, Dos, a thynn tu a mynydd Tabor, a chymmer gyd â thi ddeng mil o wŷr, o feibion Naphtali, ac o feibion Zabulon.

[e] Psal. 83. 9, 10.

7 A mi a dynnaf attat, i [e] afon Cison, Sisera tywysog llu Jabin, a'i gerbydau, a'i liaws; ac a'i rhoddaf ef yn dy law di.

8 A Barac a ddywedodd wrthi, Od ai di gyd â mi, minnau a af; ac onid ai gyd â mi, nid af.

9 A hi a ddywedodd, Gan fyned yr af gyd â thi: etto ni bydd gogoniant i ti yn y daith yr wyt yn myned iddi; canys yn llaw gwraig y gwerth yr ARGLWYDD Sisera. A Deborah a gyfododd, ac a aeth gyd â Barac i Cedes.

[f] Edrych 1 Bren. 20. 10.

10 ¶ A Barac a gynhullodd Zabulon a Naphtali i Cedes; ac a aeth i fynu â deng mil o wŷr [f] wrth ei draed: a Deborah a aeth i fynu gyd ag ef.

[g] Pen. 1. 16.
[h] Num. 10. 29.

11 A Heber [g] y Cenead, o feibion [h] Hobab, chwegrwn Moses, a ymneillduasai oddi wrth y Ceneaid, ac a ledasai ei babell hyd wastadedd Zaanaim, yr hwn *sydd* yn ymyl Cedes.

12 A mynegasant i Sisera, fyned o Barac mab Abinoam i fynu i fynydd Tabor.

† Heb. *gasglodd trwy gri.*

13 A Sisera a † gynhullodd ei holl gerbydau, *sef* naw can cerbyd haiarn, a'r holl bobl y rhai *oedd* gyd ag ef, o Haroseth y cenhedloedd hyd afon Cison.

[i] 2 Sam. 5. 24. Psal. 68. 7.

14 A Deborah a ddywedodd wrth Barac, Cyfod; canys hwn *yw*'r dydd y rhoddodd yr ARGLWYDD Sisera yn dy law di: onid aeth [i] yr ARGLWYDD allan o'th flaen di? Felly Barac a ddisgynodd o fynydd Tabor, a deng mil o wŷr ar ei ol.

[k] Psal. 83. 9, 10.

15 A'r [k] ARGLWYDD a ddrylliodd Sisera, a'i holl gerbydau, a'i holl fyddin, â min y cleddyf, o flaen Barac: a Sisera a ddisgynodd oddi ar *ei* gerbyd, ac a ffodd ar ei draed.

‡ Heb. *hyd yn un.*

16 Ond Barac a erlidiodd ar ol y cerbydau, ac ar ol y fyddin, hyd Haroseth y cenhedloedd: a holl lu Sisera a syrthiodd ar fin y cleddyf; ni adawyd ‡ un o honynt.

17 Ond Sisera a ffodd ar ei draed i babell Jäel, gwraig Heber y Cenead: canys *yr oedd* heddwch rhwng Jabin brenhin Hazor a thŷ Heber y Cenead.

18 ¶ A Jäel a aeth i gyfarfod â Sisera; ac a ddywedodd wrtho, Tro i mewn, fy arglwydd, tro i mewn attaf fi; nac ofna. Yna efe a drodd atti i'r babell, a hi a'i gorchuddiodd ef â gwrthban.

[l] Pen. 5. 25.

19 Ac efe a ddywedodd wrthi, Dïoda fi, attolwg, ag ychydig ddwfr; canys sychedig wyf. Yna hi a agorodd [l] gyunog o laeth, ac a'i dïododd ef, ac a'i gorchuddiodd.

20 Dywedodd hefyd wrthi, Saf *wrth* ddrws y babell; ac os daw neb i mewn, a gofyn i ti, a dywedyd, A oes yma neb? yna dywed dithau, Nac *oes.*

21 Yna Jäel gwraig Heber a gymmerth hoel o'r babell, ac a gymmerodd forthwyl yn ei llaw, ac a aeth i mewn atto ef yn ddistaw, ac a bwyodd yr hoel yn ei arlais ef, ac a'i gwthiodd i'r ddaear (canys yr oedd efe yn cysgu, ac yn lluddedig) ac *felly* y bu efe farw.

22 Ac wele, a Barac yn erlid Sisera, Jäel a aeth i'w gyfarfod ef; ac a ddywedodd wrtho, Tyred, a mi a ddangosaf i ti y gŵr yr wyt ti yn ei geisio. Ac efe a ddaeth i mewn atti; ac wele, Sisera yn gorwedd yn farw, a'r hoel yn ei arlais.

23 Felly y darostyngodd Duw y dwthwn hwnnw Jabin brenhin Canaan o flaen meibion Israel.

§ Heb. *gan fyned a aeth, ac a fu dost yn erbyn Jabin.*

24 A llaw meibion Israel a § lwyddodd, ac a orchfygodd Jabin brenhin Canaan, nes iddynt ddistrywio Jabin brenhin Canaan.

## PEN. V.

*Cân Deborah a Barac.*

Mawrth 18 P.

Cylch 1296.

YNA y canodd Deborah a Barac mab Abinoam, y diwrnod hwnnw, gan ddywedyd,

2 Am ddïal dïaleddau Israel, *ac* ymgymmell o'r bobl, bendithiwch yr ARGLWYDD.

3 Clywch, O frenhinoedd; gwrandêwch, O dywysogion: myfi, myfi a ganaf i'r ARGLWYDD; canaf *fawl* i ARGLWYDD DDUW Israel.

[a] Deut. 4. 11. a 33. 2.
[b] Deut. 32. 2. Psal. 68. 8. Esay 64. 3. Hab. 3. 3.

4 O ARGLWYDD, [a] pan aethost allan o Seir, pan gerddaist o faes Edom, [b] y ddaear a grynodd, a'r nefoedd a ddiferasant, a'r cymmylau a ddefnynasant ddwfr.

[c] Psal. 97. 5.

5 [c] Y mynyddoedd a doddasant o flaen yr ARGLWYDD, *sef* [d] y Sinai hwnnw, o flaen ARGLWYDD DDUW Israel.

[d] Exod. 19. 18.
[e] Pen. 3. 31.
[f] Pen. 4. 18.

6 Yn nyddiau [e] Samgar mab Anath, yn nyddiau [f] Jäel, [g] y llwybrau a aeth yn anhygyrch, a'r fforddolion a gerddasant lwybrau ceimion.

[g] Lef. 26. 22. 2 Chron. 15. 5. Esay 33. 8. Galar. 1. 4. a 4. 18.

7 Y maes-drefi a ddarfuant yn Israel: darfuant, nes i mi, Deborah, gyfodi; nes i mi gyfodi [h] yn fam yn Israel.

[h] Esay 49. 23.

8 Dewisasant dduwiau newyddion; yna rhyfel *oedd* yn y pyrth: [i] a welwyd tarian na gwaywffon ym mysg deugain mil yn Israel?

[i] Felly 1 Sam. 13. 19, 22.

9 Fy nghalon *sydd* tu ag at ddeddfwŷr Israel, y rhai fu ewyllysgar ym mhlith y bobl. Bendithiwch yr ARGLWYDD.

Pen. 4. 3.
[k] Pen. 10. 4. a 12. 14.
† Neu, *myfyriwch.*

10 [k] Y rhai sy 'n marchogaeth ar asenod gwỳnion, y rhai sy 'n eistedd mewn barn, ac yn rhodio ar hŷd y ffordd, † lleferwch.

11 *Y rhai a waredwyd* rhag trwst y saethyddion yn y lleoedd y tynnir dwfr; yno 'r adroddant gyfiawnderau 'r ARGLWYDD, cyfiawnderau *tu ag at* y trefydd yn Israel: yna pobl yr ARGLWYDD a ant i wared i'r pyrth.

12 Deffro, deffro, Deborah; deffro, deffro; traetha gân: cyfod, Barac, a chaeth-glud dy gaeth-glud, O fab Abinoam.

13 Yna y gwnaeth i'r hwn a adewir lywodraethu ar bendefigion y bobl: yr ARGLWYDD a roddes i mi lywodraeth ar gedyrn.

‡ Heb. *y rhai a dynnant â phin.*

14 O Ephraim *yr oedd* eu gwreiddyn hwynt yn erbyn Amalec; ar dy ol di, Benjamin, ym mysg dy bobl: y deddfwŷr a ddaeth i wared o Machir, ‡ yr ysgrifenyddion o Zabulon.

[l] Pen. 4. 14.
§ Neu, *yn.*

15 A thywysogion Issachar *oedd* gyd â Deborah; ïe Issachar, a [l] Barac: efe a anfonwyd ar ei draed i'r dyffryn; § am neillduaeth Reuben *yr oedd* mawr ofal calon.

16 Pa ham yr arhosaist rhwng y corlan-
† Neu, yn. nau, i wrando brefiadau'r defaid? † am
neillduaeth Reuben yr oedd mawr ofal calon.
17 Gilead a drigodd o'r tu hwnt i'r
Iorddonen: a pha ham yr erys Dan mewn
‡ Neu, hunn. llongau? Aser a drigodd wrth ‡ borthladd y
môr, ac a arhosodd ar ei § adwyau.
§ Neu, aberoedd. 18 Pobl [m] Zabulon a || roddes eu heinioes
[m] Pen. 4. 10. i farw; felly Naphtali ar uchel-fannau'r
maes.
|| Heb. ddirmygasant. 19 Y brenhinoedd a ddaethant, *ac* a ym-
laddasant; yna brenhinoedd Canaan a ym-
laddasant yn Taanach, wrth ddyfroedd Me-
gìdo: ni chymmerasant elw o arian.
20 O'r nefoedd yr ymladdasant; y ser yn
† Heb. llwybrau. eu † graddau a ymladdodd yn erbyn Sisera.
21 Afon Cison a'u hysgubodd hwynt; yr
hen afon, yr afon Cison: fy enaid, ti a sethr-
aist gadernid.
22 Yna y drylliodd carnau'r meirch gan
garlammau, carlammau ei gryfion ef.
23 Melldigwch Meroz (eb angel yr Ar-
glwydd) gan felldigo melldigwch ei thrig-
[n] Neh. 3. 5. olion: am [n] na ddaethant yn gynhorthwy
i'r Arglwydd, yn gynhorthwy i'r Ar-
glwydd yn erbyn y cedyrn.
[o] Pen. 4. 17. 24 Bendithier [o] Jäel, gwraig Heber y
Cenead, goruwch gwragedd; bendithier *hi*
goruwch gwragedd yn y babell.
25 Dwfr a geisiodd efe, llaeth a roddes
hithau: mewn phïol ardderchog y dug hi
ymenyn.
26 Ei llaw a estynodd hi at yr hoel, a'i
llaw ddehau at forthwyl y gweithwŷr: a
‡ Heb. forthwylodd. hi a ‡ bwyodd Sisera, ac a dorrodd ei ben
ef; gwanodd hefyd, a thrywanodd ei ar-
lais ef.
27 Wrth ei thraed yr ymgrymmodd efe;
syrthiodd, gorweddodd: wrth ei thraed yr
ymgrymmodd efe, y syrthiodd: lle'r ym-
§ Heb. ddistrywiedig. grymmodd, yno y syrthiodd yn § farw.
28 Mam Sisera a edrychodd trwy ffenestr,
ac a waeddodd trwy'r dellt, Pa ham yr oedd
ei gerbyd ddyfod? pa ham yr arafodd olwyn-
ion ei gerbydau?
29 Ei harglwyddesau doethion a'i hat-
|| Heb. ddychwelodd eiriau atti ei hun. tebasant; hithau hefyd a || attebodd iddi ei
hun,
30 [p] Oni chawsant hwy? oni rannasant
yr anrhaith, llangces *neu* ddwy i bob † gwr?
[p] Exod. 15. 9. anrhaith o *wisgoedd* symmudliw i Sisera,
† Heb. pen? anrhaith o wnïadwaith symmudliw, sym-
mudliw o wnïadwaith o'r ddeutu, *cym-
‡ Heb. anrhaith. mwys* i yddfau'r ‡ anrheithwŷr?
31 Felly y darfyddo am dy holl elynion,
O Arglwydd: a *bydded* y rhai a'i hoff-
[q] 2 Sam. 23. 4. ant ef [q] fel yr haul yn myned rhagddo yn
ei rym. A'r wlad a gafodd lonydd ddeu-
gain mlynedd.

PEN. VI.

Mawrth 19. B. 1 *Midian yn gorthrymmu'r Israeliaid am eu
pechod. 8 Prophwyd yn eu ceryddu hwynt.
11 Angel yn anfon Gedeon i'w gwaredu
hwynt. 21 Tân yn ysu anrheg Gedeon. 24
Gedeon yn bwrw i lawr allor Baal, ac yn
offrymmu aberth ar yr allor Jehofah-salom.
31 Joas yn amddiffyn ei fab, ac yn ei alw
ef Jerub-baal. 33 Llu Gedeon, 36 a'i ar-
wyddion.*

Cylch 1256. A Meibion Israel a wnaethant ddrwg
yngolwg yr Arglwydd: a'r Ar-
glwydd a'u rhoddodd hwynt yn llaw
[a] Hab. 3. 7. [a] Midian saith mlynedd.
2 A llaw Midian a orthrechodd Israel:
[b] 1 Sam. 13. 6. *a* rhag y Midianiaid meibion Israel a
wnaethant iddynt [b] y llochesau *sydd* yn y
mynyddoedd, a'r ogfeydd, a'r amddiffyn-
faoedd.
3 A phan hauasai Israel, yna Midian a
ddaeth i fynu, ac Amalec, a meibion y dwy-
rain; hwy a ddaethant i fynu yn eu herbyn
hwy:
4 Ac a wersyllasant yn eu herbyn hwynt,
ac a ddinystriasant gnwd y ddaear, hyd oni
ddelych i Gazah; ac ni adawsant ddim ym-
borth yn Israel, na † dafad, nac eidion, nac † Neu, gafr.
asyn.
5 Canys hwy a ddaethant i fynu â'u hani-
feiliaid, ac â'u pebyll, a daethant fel locust-
iaid o amldra; *ac* nid *oedd* rifedi arnynt
hwy, nac ar eu camelod: a hwy a ddaethant
i'r wlad i'w distrywio hi.
6 Ac Israel a aeth yn dlawd iawn o achos
y Midianiaid: a meibion Israel a lefasant ar
yr Arglwydd.
7 ¶ A phan lefodd meibion Israel ar yr Cylch
Arglwydd oblegid y Midianiaid, 1249.
8 Yr Arglwydd a anfonodd brophwyd-
wr at feibion Israel, yr hwn a ddywedodd
wrthynt, Fel hyn y dywedodd Arglwydd
Dduw Israel; Myfi a'ch dygais chwi i fynu
o'r Aipht, ac a'ch arweiniais chwi o dŷ'r
caethiwed;
9 Ac a'ch gwaredais chwi o law'r Aipht-
iaid, ac o law eich holl orthrymwŷr; gyr-
rais hwynt allan o'ch blaen chwi, a rhoddais
eu tir hwynt i chwi:
10 A dywedais wrthych, Myfi *yw* yr Ar-
glwydd eich Duw chwi; [c] nac ofnwch [c] 2 Bren. 17. 35, 38.
dduwiau'r Amoriaid, y rhai'r ydych yn Jer. 10. 2.
trigo yn eu gwlad: ond ni wrandawsoch ar
fy llais i.
11 ¶ Ac angel yr Arglwydd a ddaeth,
ac a eisteddodd dan dderwen *oedd* yn Oph-
rah, yr hon *oedd eiddo* Joas yr [d] Abi-esriad: [d] Jos. 17. 2.
a [e] Gedeon ei fab ef oedd yn dyrnu gwenith [e] Heb. 11.
wrth y gwinwryf, ‡ i'w guddio rhag y Mi- 32.
dianiaid. ‡ Heb. i beri iddo ddiangc.
12 Ac angel yr Arglwydd a ymddang-
osodd iddo ef, ac a ddywedodd wrtho, Yr Ar-
glwydd *sydd* gyd â thi, *wr* cadarn nerthol.
13 A Gedeon a ddywedodd wrtho, O
fy arglwydd, [f] od yw'r Arglwydd gyd â [f] Deut. 31.
ni, pa ham y digwyddodd hyn oll i ni? a 17.
pha le *y mae* ei holl ryfeddodau ef, y rhai a
fynegodd ein tadau i ni, gan ddywedyd,
Oni ddug yr Arglwydd ni i fynu o'r
Aipht? Ond yn awr yr Arglwydd a'n
gwrthododd ni, ac a'n rhoddodd i law y
Midianiaid.
14 A'r Arglwydd a edrychodd arno ef,
ac a ddywedodd, [g] Dos yn dy rymmusdra [g] 1 Sam. 12.
yma; a thi a waredi Israel o law'r Midian- 11.
iaid: oni anfonais i dydi? Heb. 11. 32.
15 Dywedodd yntau wrtho ef, O fy ar-
glwydd, pa fodd y gwaredaf fi Israel? Wele,
[h] § fy nheulu yn dlawd ym Manasseh, a [h] Edrych
minnau yn lleiaf yn nhŷ fy nhad. 1 Sam. 9.
21.
16 A dywedodd yr Arglwydd wrtho
ef, Diau y byddaf fi gyd â thi; a thi a da- § Heb. mi sy waelaf.
rewi'r Midianiaid fel un gwr.
17 Ac efe a ddywedodd wrtho, O chefais Gwel
yn awr ffafr yn dy olwg, gwna erof fi arwydd Exod. 18. 25.
mai ti sydd yn llefaru wrthyf. Mic. 5. 2.
18 Na chilia, attolwg, oddi yma, hyd oni
ddelwyf attat, ac oni [i] ddygwyf || fy an- [i] Pen. 13. 15.
rheg, a'i gosod ger dy fron. Dywedodd yn-
tau, Myfi a arhosaf nes it' ddychwelyd. || Neu, fy mwyd-offrwm.
19 A Gedeon a aeth i mewn, ac a barot-
tôdd fynn gafr, ac ephah o beilliaid yn fara
croyw: y cig a osododd efe mewn basged,
a'r isgell a osododd efe mewn crochan; ac

a'i dug atto ef dan y dderwen, ac a'i cyflwynodd.

20 Ac angel Duw a ddywedodd wrtho, Cymmer y cig, a'r bara croyw, a gosod ar y graig hon, a [k] thywallt yr isgell. Ac efe a wnaeth felly.

[k] Edrych 1 Bren. 18. 33, 34.

21 ¶ Yna angel yr Arglwydd a estynodd flaen y ffon *oedd* yn ei law, ac a gyffyrddodd â'r cig, ac â'r bara croyw: a'r tân [l] a ddyrchafodd o'r graig, ac a ysodd y cig, a'r bara croyw. Ac angel yr Arglwydd a aeth ymaith o'i olwg ef.

[l] Lef. 9. 24.

22 A phan welodd Gedeon mai angel yr Arglwydd *oedd* efe, y dywedodd Gedeon, Och, O Arglwydd Dduw! [m] o herwydd im' weled angel yr Arglwydd wyneb yn wyneb.

[m] Gen. 16. 13. Exod. 33. 20. Pen. 13. 22.

23 A dywedodd yr Arglwydd wrtho, Tangnefedd it': nac ofna; ni byddi farw.

24 Yna Gedeon a adeiladodd yno allor i'r Arglwydd, ac a'i galwodd † Jehofah-shalom: hyd y dydd hwn *y mae* hi etto yn Ophrah *eiddo*'r Abi-esriaid.

† Hynny yw, *Yr Arglwydd a roddo heddwch*

25 ¶ A'r noson honno y dywedodd yr Arglwydd wrtho ef, Cymmer y bustach *sydd* eiddo dy dad, ‡ sef yr ail bustach saith mlwydd oed; a bwrw i lawr allor Baal yr hon *sydd* eiddo dy dad, a [n] thorr i lawr y llwyn *sydd* yn ei hymyl hi:

Edrych Exod. 17. 15. Jer. 33. 16. Ezec. 48. 35. ‡ Neu, *a'r ail.* [n] Exod. 34. 13. Deut. 7. 5.

26 Ac adeilada allor i'r Arglwydd dy Dduw ar ben y § graig hon, ‖ yn y lle trefnus; a chymmer yr ail bustach, ac offrymma boeth-offrwm â choed y llwyn, yr hwn a dorri di.

§ Heb. *cadarnle hwn.* ‖ Neu, *mewn modd.*

27 Yna Gedeon a gymmerodd ddengwr o'i weision, ac a wnaeth fel y llefarasai'r Arglwydd wrtho: ac o herwydd ei fod yn ofni teulu ei dad, a gwŷr y ddinas, fel na's gallai wneuthur *hyn* liw dydd, efe a'i gwnaeth liw nos.

28 ¶ A phan gyfododd gwŷr y ddinas y bore, *yna* wele, allor Baal wedi ei bwrw i lawr, a'r llwyn yr hwn *oedd* yn ei hymyl wedi ei dorri, a'r ail bustach wedi ei offrymmu ar yr allor a adeiladasid.

29 A dywedodd pawb wrth ei gilydd, Pwy a wnaeth y peth hyn? Ac wedi iddynt ymofyn a chwilio, y dywedasant, Gedeon mab Joas a wnaeth y peth hyn.

30 Yna gwŷr y ddinas a ddywedasant wrth Joas, Dwg allan dy fab, fel y byddo marw: am iddo fwrw i lawr allor Baal, ac am iddo dorri'r llwyn *oedd* yn ei hymyl hi.

31 A Joas a ddywedodd wrth y rhai oll a oeddynt yn sefyll yn ei erbyn ef, A ddadleuwch chwi dros Baal? ai chwi a'i ceidw ef? yr hwn a ddadleuo drosto ef, bydded farw y bore hwn: os Duw *yw* efe, dadleued drosto ei hun, am fwrw ei allor ef i lawr.

32 Ac efe a'i galwodd ef y dwthwn hwnnw [o] Jerubbaal; gan ddywedyd, Dadleued Baal drosto ei hun, am fwrw ei allor i lawr.

[o] 2 Sam. 11. 21. *Jerubbaseth.*

33 ¶ Yna y Midianiaid oll, a'r Amaleciaid, a meibion y dwyrain, a gasglwyd ynghyd, ac a aethant drosodd, ac a wersyllasant yn nyffryn Jezreel.

34 Ond [p] yspryd yr Arglwydd a † ddaeth ar Gedeon; ac efe [q] a udganodd mewn udgorn, ac Abïezer a ‡ aeth ar ei ol ef.

[p] 1 Chron. 12. 18. 2 Chron. 24. 20. † Heb. *wisgodd am.* [q] Num. 10. 3. Pen. 3. 17.

35 Ac efe a anfonodd genhadau trwy holl Manasseh, yr hwn hefyd a'i canlynodd ef: anfonodd hefyd genhadau i Aser, ac i Zabulon, ac i Naphtali; a hwy a ddaethant i fynu i'w cyfarfod hwynt.

‡ Heb. *alwyd.*

36 ¶ A Gedeon a ddywedodd wrth Dduw, O gwaredi di Israel trwy fy llaw i, megis y llefaraist;

37 Wele fi yn gosod cnu o wlân yn y llawr-dyrnu; os gwlith y fydd ar y cnu yn unig, a sychder ar yr holl ddaear; yna y caf wybod y gwaredi di Israel trwy fy llaw i, fel y llefaraist.

38 Ac felly y bu: canys cyfododd yn fore drannoeth, ac a wasgodd y cnu ynghyd, ac a wasgodd wlith o'r cnu, lonaid phiol o ddwfr.

39 A Gedeon a ddywedodd wrth Dduw, [r] Na lidied dy ddigllonedd i'm herbyn, a mi a lefaraf unwaith etto. Profaf yn awr, y waith hon yn unig, trwy'r cnu: bydded, attolwg, sychder ar y cnu yn unig, ac ar yr holl ddaear bydded gwlith.

[r] Gen. 18. 32.

40 A Duw a wnaeth felly y noson honno: canys yr oedd sychder ar y cnu yn unig, ac ar yr holl ddaear yr oedd gwlith.

## PEN. VII.

*7 Dwyn llu Gedeon o ddeuaddeng mil ar hugain i dri chant. 13 Ei gysuro trwy freuddwyd, a deongliad y dorth haidd. 16 Ei ddyfais ynghylch yr udgyrn a'r lampau mewn piserau. 25 Yr Ephraimiaid yn dal Oreb a Zeeb.*

Mawrth 19. P.

YNA Jerubbaal ([a] hwnnw *yw* Gedeon) a gyfododd yn fore, a'r holl bobl y rhai *oedd* gyd ag ef, ac a wersyllasant wrth ffynnon Harod: a gwersyll y Midianiaid oedd o du'r gogledd iddynt, wrth fryn Moreh, yn y dyffryn.

Cyloh 1249. [a] Pen. 6. 32.

2 A dywedodd yr Arglwydd wrth Gedeon, Rhy liosog yw'r bobl *sydd* gyd â thi, i mi i roddi'r Midianiaid yn eu dwylaw; rhag i Israel ymogoneddu i'm herbyn, gan ddywedyd, Fy llaw fy hun a'm gwaredodd.

3 Am hynny, yn awr, cyhoedda lle y clywo'r bobl, gan ddywedyd, [b] Yr hwn *sydd* ofnus ac arswydus, dychweled ac ymadawed y bore o fynydd Gilead. A dychwelodd o'r bobl ddwy fil ar hugain, a deng mil a arosasant.

[b] Deut. 20. 8. 1 Mac. 3. 56.

4 A dywedodd yr Arglwydd wrth Gedeon, Etto *y mae* gormod o bobl. Dwg hwynt i wared at y dyfroedd, a mi a'u profaf hwynt yno i ti: ac am yr hwn y dywedwyf wrthyt, Hwn a â gyd â thi, eled hwnnw gyd â thi; ac am bwy bynnag y dywedwyf wrthyt, Hwn nid â gyd â thi, nac eled hwnnw gyd â thi.

5 Felly efe a ddygodd y bobl i wared at y dyfroedd. A dywedodd yr Arglwydd wrth Gedeon, Pob un a lepio â'i dafod o'r dwfr fel y llepio ci, gosod ef o'r neilldu; a phob un a ymgrymmo ar ei liniau i yfed.

6 A rhifedi'r rhai a godasant *y dwfr* â'u llaw at eu genau, oedd dri channwr: a'r holl bobl eraill a ymgrymmasant ar eu gliniau i yfed dwfr.

7 A dywedodd yr Arglwydd wrth Gedeon, Trwy'r tri channwr a lepiasant y *dwfr*, y gwaredaf chwi, ac y rhoddaf y Midianiaid yn dy law di: ac eled yr holl bobl *eraill* bob un i'w fangre ei hun.

8 Felly y bobl a gymmerasant fwyd yn eu dwylaw, a'u hudgyrn; a *Gedeon* a ollyngodd ymaith holl wŷr Israel, pob un i'w babell, a'r tri channwr a attaliodd efe: a gwersyll y Midianiaid oedd oddi tanodd iddo yn y dyffryn.

9 ¶ A'r noson honno y dywedodd yr Arglwydd wrtho ef, Cyfod, dos i wared

i'r gwersyll; canys mi a'i rhoddais yn dy
law di.
10 Ac od wyt yn ofni myned i wared, dos
di a Phurah dy langc i wared i'r gwersyll.
11 A chei glywed beth a ddywedant; fel
yr ymnertho wedi hynny dy ddwylaw, ac
yr elych i wared i'r gwersyll. Yna efe a aeth
† Heb. *pumpiau.* i wared, a Phurah ei langc, i gwrr y † rhai
arfogion *oedd* yn y gwersyll.
c Pen. 6. 5, 33. a 8. 10. 12 A'r Midianiaid, a'r Amaleciaid, a c holl
feibion y dwyrain, oedd yn gorwedd yn y
dyffryn fel locustiaid o amldra; a'u camelod
*oedd* heb rif, fel y tywod *sydd* ar fin y môr
o amldra.
13 A phan ddaeth Gedeon, wele, wr yn my-
negi i'w gyfaill freuddwyd, ac yn dywedyd,
Wele, breuddwyd a freuddwydiais; ac wele,
dorth o fara haidd yn ymdreiglo i wersyll
y Midianiaid, a hi a ddaeth hyd at babell,
ac a'i tarawodd fel y syrthiodd, a hi a'i hym-
chwelodd, fel y syrthiodd y babell.
14 A'i gyfaill a attebodd ac a ddywedodd,
Nid *yw* hyn ddim ond cleddyf Gedeon mab
Joas, gwr o Israel: Duw a roddodd Midian
a'i holl fyddin yn ei law ef.
15 ¶ A phan glybu Gedeon adroddiad y
‡ Heb. *dorriad.* breuddwyd, a'i ‡ ddirnad, efe a addolodd,
ac a ddychwelodd i wersyll Israel; ac a ddy-
wedodd, Cyfodwch: canys rhoddodd yr Ar-
glwydd fyddin y Midianiaid yn eich llaw
chwi.
16 Ac efe a rannodd y tri channwr *yn* dair
byddin, ac a roddodd udgyrn yn llaw pawb
§ Neu, *ffaglynion.* o honynt, a phiserau gwag, a § lampau yng-
hanol y piserau.
17 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy,
Edrychwch arnaf fi, a gwnewch yr un ffu-
nud: ac wele, pan ddelwyf i gwrr y gwer-
syll, yna fel y gwnelwyf fi, gwnewch chwi-
thau.
18 Pan udganwyf fi mewn udgorn, myfi
a'r holl rai *sydd* gyd â mi, udgenwch chwi-
thau mewn udgyrn o amgylch yr holl wer-
syll, a dywedwch, *Cleddyf* yr Arglwydd,
a Gedeon.
19 ¶ Felly Gedeon a ddaeth i mewn, a'r
cannwr *oedd* gyd ag ef, i gwrr y gwersyll, yn
nechreu'r wyliadwriaeth ganol, ar gwylwŷr
wedi eu newydd osod, ac a udganasant
mewn udgyrn, ac a ddrylliasant y piserau
*oedd* yn eu dwylaw.
20 A'r tair byddin a udganasant mewn
udgyrn, ac a ddrylliasant y piserau, ac a
ddaliasant y lampau yn eu llaw aswy, a'r ud-
gyrn yn eu llaw ddehau i udganu: a hwy a
lefasant, Cleddyf yr Arglwydd, a Gedeon.
21 A safasant bob un yn ei le, o amgylch
y gwersyll: a'r holl wersyll a redodd, ac a
waeddodd, ac a ffodd.
d Jos. 6. 4, 16, 20. 22 A'r tri chant d a udganasant ag udgyrn;
Edrych a'r e Arglwydd a osododd gleddyf f pob
2 Cor. 4. 7. un yn erbyn eu gilydd, trwy'r holl wersyll:
e Psal. 83. 9. felly y gwersyll a ffodd hyd Beth-sittah, ‖ yn
Esay 9. 4. Sererath, hyd fin Abel-meholah, hyd Tab-
f 1 Sam. 14. 20. bath.
2 Chron. 20. 23. 23 A gwŷr Israel a ymgasglasant, o Naph-
tali, ac o Aser, ac o holl Manasseh, ac a er-
‖ Neu, *tu a.* lidiasant ar ol y Midianiaid.
24 ¶ A Gedeon a anfonodd genhadau
trwy holl fynydd Ephraim, gan ddywedyd,
Deuwch i wared yn erbyn y Midianiaid,
ac achubwch o'u blaen hwynt y dyfroedd
hyd Beth-barah a'r Iorddonen: a holl wŷr
g Psal. 83. 11. Ephraim a ymgasglasant, ac a ynnillasant y
Esay 10. 26. dyfroedd hyd Beth-barah a'r Iorddonen.
25 A daliasant g ddau o dywysogion Mi-
dian, Oreb a Zeeb; a lladdasant Oreb ar
graig Oreb, a lladdasant Zeeb wrth winwryf
Zeeb, ac a erlidiasant Midian, ac a ddyga-
sant bennau Oreb a Zeeb at Gedeon, i'r tu
arall i'r Iorddonen.

PEN. VIII.

1 *Gedeon yn llonyddu gwŷr Ephraim.* 4 *Suc-* Mawrth 20. E.
*coth a Phenuel yn gwrthod porthi llu Gedeon.*
10 *Dala Zebah a Salmunna.* 16, 17 *Dinystr*
*Succoth a Phenuel.* 21 *Gedeon yn dial*
*marwolaeth ei frodyr ar Zebah a Salmunna;*
23 *yn gwrthod llywodraethu.* 27 *Ei ephod*
*ef yn achos o ddelw-addoliaeth.* 28 *Gores-*
*gyn Midian.* 30 *Plant Gedeon, a'i farw-*
*olaeth.* 33 *Gau-dduwiaeth ac anniolch-*
*garwch yr Israeliaid.*

A a Gwŷr Ephraim a ddywedasant wrtho Cylch 1249.
ef, † Pa ham y gwnaethost y peth hyn a Edrych Pen. 12. 1.
â ni, heb alw arnom ni pan aethost i ym- 2 Sam 19. 41.
ladd yn erbyn y Midianiaid? A hwy a'i
dwrdiasant ef yn ‡ dost.
2 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Beth a † Heb. *Pa beth yw hyn a wnaethost â ni?*
wneuthum i yn awr wrth *a wnaethoch* chwi?
Onid gwell *yw* lloffiad grawnwin Ephraim,
na chasgliad grawnwin Abiezer?
3 Duw a roddodd yn eich llaw chwi dy- ‡ Heb. *gryf.*
wysogion Midian, Oreb a Zeeb: a pheth
a allwn i ei wneuthur wrth *a wnaethoch*
chwi? Yna'r arafodd eu § dig hwynt tu ag § Heb. *hysbryd.*
atto ef, pan lefarodd efe'r gair hwn.
4 ¶ A daeth Gedeon i'r Iorddonen; *ac* a
aeth drosti hi, efe a'r tri channwr *oedd* gyd ag
ef, yn ddiffygiol, ac etto yn *eu* herlid *hwy*.
5 Ac efe a ddywedodd wrth wŷr Suc-
coth, Rhoddwch, attolwg, dorthau o fara
i'r bobl sydd i'm canlyn i: canys lluddedig
ydynt hwy; a minnau yn erlid ar ol Zebah
a Salmunna, brenhinoedd Midian.
6 ¶ A dywedodd tywysogion Succoth, *A*
*yw* llaw Zebah a Salmunna'n awr yn dy law
di, fel b y rhoddem ni fara i'th lu di? b Edrych 1 Sam. 25. 13.
7 A dywedodd Gedeon, O herwydd
hynny, pan roddo'r Arglwydd Zebah a
Salmunna yn fy llaw i, yna y ‖ drylliaf eich ‖ Heb. *dyrnaf.*
cnawd chwi â drain yr anialwch, ac â mieri.
8 Ac efe a aeth i fynu oddi yno i Penuel,
ac a lefarodd wrthynt hwythau yn yr un
modd. A gwŷr Penuel a'i hattebasant ef fel
yr attebasai gwŷr Succoth.
9 Ac efe a lefarodd hefyd wrth wŷr Penu-
el, gan ddywedyd, Pan ddychwelwyf mewn
heddwch, mi a ddistrywiaf y tŵr yma.
10 ¶ A Zebah a Salmunna *oedd* yn Carcor,
a'u lluoedd gyd â hwynt, ynghylch pym-
theng mil, yr hyn oll a adawsid o holl fyddin
meibion y dwyrain: canys lladdwyd cant ac
ugain mil o wŷr yn tynnu cleddyf.
11 ¶ A Gedeon a aeth i fynu ar hŷd ffordd
y rhai oedd yn trigo mewn pebyll, o'r tu
dwyrain i c Nobah a Jogbehah; ac efe a da- c Num. 32. 35, 42.
rawodd y fyddin: canys y fyddin oedd † ys- † *ddiofal.*
gafala.
12 A Zebah a Salmunna a ffoisant: ac efe d Psal. 83. 11.
a erlidiodd ar eu hol hwynt; ac d a ddaliodd
ddau frenhin Midian, Zebah a Salmunna, ac
a ‡ darfodd yr holl lu. ‡ Heb. *frawychodd.*
13 ¶ A Gedeon mab Joas a ddychwelodd
o'r rhyfel cyn *codi*'r haul.
14 Ac efe a ddaliodd langc o wŷr Succoth,
ac a ymofynodd ag ef. Ac yntau a 'sgrifen-
odd iddo dywysogion Succoth, a'r henur-
iaid; *sef* dau wr ar bymtheg a thrugain.
15 Ac efe a ddaeth at wŷr Succoth, ac a
ddywedodd, Wele, Zebah a Salmunna, trwy
y rhai y dannodasoch i mi, gan ddywedyd,

*A ydyw* llaw Zebah a Salmunna yn awr yn dy law di, fel y rhoddem fara i'th wŷr lluddedig?

16 Ac efe a gymmerth henuriaid y ddinas, a drain yr anialwch, a mieri, ac a † ddysgodd wŷr Succoth â hwynt.

† Heb. *wnaeth i wŷr Succoth adnabod.*

17 Tŵr [e] Penuel hefyd a ddinystriodd efe, ac a laddodd wŷr y ddinas.

[e] 1 Bren. 12. 25.

18 ¶ Yna efe a ddywedodd wrth Zebah a Salmunna, Pa fath wŷr *oedd* y rhai a laddasoch chwi yn Tabor? A hwy a ddywedasant, Tebyg i ti, *pob un* o ddull meibion brenhin.

19 Ac efe a ddywedodd, Fy mrodyr, meibion fy mam, *oeddent* hwy: *fel* mai byw'r ARGLWYDD, pe gadawsech hwynt yn fyw, ni laddwn chwi.

20 Ac efe a ddywedodd wrth Jether ei gyntaf-anedig, Cyfod, lladd hwynt. Ond ni thynnai'r llangc ei gleddyf: o herwydd efe a ofnodd, canys bachgen *oedd* efe etto.

21 Yna y dywedodd Zebah a Salmunna, Cyfod di, a rhuthra i ni: canys fel *y byddo'r* gwr, *felly y bydd* ei rym. A Gedeon a gyfododd, ac a laddodd Zebah a Salmunna, ac a gymmerth y ‡ colerau *oedd* am yddfau eu camelod hwynt.

‡ Neu, *lloer-dlysau.*

22 ¶ A gwŷr Israel a ddywedasant wrth Gedeon, Arglwyddiaetha arnom ni, tydi, a'th fab, a mab dy fab hefyd: canys gwaredaist ni o law Midian.

23 A Gedeon a ddywedodd wrthynt, Ni arglwyddiaethaf fi arnoch, ac ni arglwyddiaetha fy mab arnoch, *eithr* [f] yr ARGLWYDD a arglwyddiaetha arnoch.

[f] 1 Sam. 8. 7. a 10. 19. a 12. 12.

24 Dywedodd Gedeon hefyd wrthynt, Gofynaf ddymuniad gennych, ar roddi o bob un o honoch i mi glust-dlysau ei ysglyfaeth: canys clust-dlysau aur *oedd* ganddynt hwy, o herwydd mai Ismaeliaid oeddynt hwy.

25 A dywedasant, Gan roddi y rhoddwn *hwynt.* A lledasant *ryw* wisg, a thaflasant yno bob un glust-dlws ei ysglyfaeth.

26 A phwys y clust-dlysau aur a ofynasai efe, oedd fil a saith gant *o siclau* aur; heb law'r § colerau, a'r arogl-bellenau, a'r gwisgoedd porphor, y rhai *oedd* am frenhinoedd Midian; ac heb law y tyrch *oedd* am yddfau eu camelod hwynt.

§ Neu, *per-dlysau.*

27 A Gedeon [g] a wnaeth o honynt ephod, ac a'i gosododd yn ei ddinas ei hun Ophrah: a holl Israel a butteiniasant ar ei hol hi yno: a bu *hynny* yn dramgwydd i Gedeon, ac i'w dŷ.

[g] Pen. 17. 5.

28 ¶ Felly y darostyngwyd Midian o flaen meibion Israel, fel na 'chwanegasant godi eu pennau. A'r wlad a gafodd lonydd ddeugain mlynedd yn nyddiau Gedeon.

29 ¶ A Jerubbaal mab Joas a aeth, ac a drigodd yn ei dŷ ei hun.

30 Ac i Gedeon yr oedd deng mab a thrugain, a ddaethai ‖ o'i gorph ef: canys gwragedd lawer oedd iddo ef.

‖ Heb. *yn myned allan o'i forddwyd.*

31 A'i orderchwraig ef, yr hon *oedd* yn Sichem, a ymddûg hefyd iddo fab: ac efe a osododd ei enw ef yn Abimelech.

Cylch 1209. 32 ¶ Felly Gedeon mab Joas a fu farw mewn oedran teg, ac a gladdwyd ym meddrod Joas ei dad, yn Ophrah yr Abi-esriaid.

33 A phan fu farw Gedeon, yna meibion Israel a ddychwelasant, ac a butteiniasant ar ol Baalim; ac a wnaethant Baal-berith yn dduw iddynt.

34 Felly meibion Israel ni chofiasant yr ARGLWYDD eu Duw, yr hwn a'u gwaredasai hwynt o law eu holl elynion o amgylch;

35 Ac ni wnaethant garedigrwydd â thŷ Jerubbaal, *sef* Gedeon, yn ol yr holl ddaioni a wnaethai efe i Israel.

## PEN. IX.

*1 Abimelech, trwy gyd-fwriadu â gwŷr Sichem, a lladd ei frodyr, yn myned yn frenhin. 7 Jotham, trwy ddammeg, yn eu ceryddu, ac yn rhag fynegi eu cwymp hwy. 26 Gaal yn cyd-fwriadu â'r Sichemiaid yn ei erbyn ef. 30 Zebul yn datguddio eu bwriad hwy. 45 Abimelech yn eu gorchfygu hwynt, ac yn hau'r ddinas â halen: 49 yn llosgi amddiffynfa duw Berith. 53 Ei ladd yntau yn Thebez â darn o faen melin. 57 Cyflawni melldith Jotham.*

Mawrth 8u. P.

AC Abimelech mab Jerubbaal a aeth i Sichem, at frodyr [a] ei fam, ac a ymddiddanodd â hwynt, ac â holl dylwyth tŷ tad ei fam, gan ddywedyd, Cylch 1209.

[a] Pen. 8. 31.

2 Dywedwch, attolwg, lle y clywo holl wŷr Sichem, Pa un † oreu i chwi, ai arglwyddiaethu arnoch o ddengwr a thrugain, *sef* holl feibion Jerubbaal, ai arglwyddiaethu o un gwr arnoch? cofiwch hefyd mai eich asgwrn a'ch cnawd chwi *ydwyf* fi.

† Heb. *sy dda.*

3 A brodyr ei fam a ddywedasant am dano ef, lle y clybu holl wŷr Sichem, yr holl eiriau hyn: a'u calonnau hwynt a drodd ar ol Abimelech; canys dywedasant, Ein brawd ni *yw* efe.

4 A rhoddasant iddo ddeg a thrugain o arian o dŷ Baal-berith: ac Abimelech a gyflogodd â hwynt [b] oferwŷr gwammal, y rhai a aethant ar ei ol ef.

[b] Pen. 11. 3.

5 Ac efe a ddaeth i dŷ ei dad i Ophrah, ac a laddodd ei frodyr, meibion Jerubbaal, y *rhai oedd* ddengwr a thrugain, ar un garreg: ond Jotham, mab ieuangaf Jerubbaal, a adawyd; canys efe a ymguddiasai.

6 A holl wŷr Sichem a holl dŷ Millo a ymgasglasant, ac a aethant, ac a urddasant Abimelech yn frenhin, wrth ‡ ddyffryn y golofn yr hwn *sydd* yn Sichem.

‡ Neu, *dderwen.* Edrych Jos. 24. 26.

7 ¶ A phan fynegasant *hynny* i Jotham, efe a aeth ac a safodd ar ben mynydd Garizim, ac a ddyrchafodd ei lef, ac a waeddodd, dywedodd *hefyd* wrthynt, Gwrandêwch arnaf fi, O wŷr Sichem, fel y gwrandawo Duw arnoch chwithau.

8 [c] Y prennau gan fyned a aethant i eneinio brenhin arnynt; a dywedasant wrth yr olewŷdden, Teyrnasa arnom ni.

[c] Edrych 2 Bren. 14. 9.

9 Ond yr olewŷdden a ddywedodd wrthynt, A ymadawaf fi â'm brasder, [d] â'r hwn trwof fi'r anrhydeddant DUW a dŷn, a myned § i lywodraethu ar y prennau *eraill?*

[d] Psal. 104. 15. § Neu, *i fynu ac i waered dros.*

10 A'r prennau a ddywedasant wrth y ffigysbren, Tyred di, teyrnasa arnom ni.

11 Ond y ffigysbren a ddywedodd wrthynt, A ymadawaf fi â'm melysdra, ac â'm ffrwyth da, ac a af fi i lywodraethu ar y prennau *eraill?*

12 Yna'r prennau a ddywedasant wrth y winwŷdden, Tyred di, teyrnasa arnom ni.

13 A'r winwŷdden a ddywedodd wrthynt hwy, A ymadawaf fi â'm melyswin, [e] yr hwn sydd yn llawenhâu DUW a dŷn, a myned i lywodraethu ar y prennau *eraill?*

[e] Psal. 104. 15.

14 Yna'r holl brennau a ddywedasant wrth ‖ y fieren, Tyred di, teyrnasa arnom ni.

‖ Neu, *yr ysgallen.*

15 A'r fieren a ddywedodd wrth y prennau, Os mewn gwirionedd yr enneiniwch fi yn frenhin arnoch, deuwch *ac* ymddiriedwch yn fy nghysgod i: ac onid ê, [f] eled tân allan o'r fieren, ac ysed gedrwŷdd Libanus.

[f] Ezec. 19. 14.

16 Yn awr gan hynny, os mewn gwirionedd a phurdeb y gwnaethoch, yn gosod

Abimelech yn frenhin, ac os gwnaethoch
yn dda â Jerubbaal, ac â'i dŷ, ac os yn ol
haeddedigaeth ei ddwylaw y gwnaethoch
iddo:
17 (Canys fy nhad a ymladdodd drosoch
* Neu, *fwrwodd.* chwi, ac a * anturiodd ei einioes ym mhell,
ac a'ch gwaredodd chwi o law Midian:
18 A chwithau a gyfodasoch yn erbyn tŷ
fy nhad i heddyw, ac a laddasoch ei feibion
ef, sef dengwr a thrugain, ar un garreg, ac
a osodasoch Abimelech, mab ei law-forwyn
ef, yn frenhin ar wŷr Sichem, o herwydd *ei*
*fod* ef yn frawd i chwi)
19 Gan hynny, os mewn gwirionedd a
phurdeb y gwnaethoch â Jerubbaal, ac â'i dŷ
ef, y dydd hwn; llawenychwch yn Abime-
lech, a llawenyched yntau ynoch chwithau:
20 Ac onid ê, eled tân allan o Abimelech,
ac ysed wŷr Sichem, a thŷ Milo; *hefyd* eled
tân allan o wŷr Sichem, ac o dŷ Milo, ac
ysed Abimelech.
21 A Jotham a giliodd, ac a ffodd, ac a
aeth ymaith i Beer, ac a drigodd yno, rhag
ofn Abimelech ei frawd.
Cylch 22 ¶ Ac Abimelech a deyrnasodd ar Israel
1206. dair blynedd.
g Edrych 23 A g Duw a ddanfonodd ysbryd drwg
1 Bren. 22. rhwng Abimelech a gwŷr Sichem; a gwŷr
22. 2 Chron. 10. Sichem a aethant yn anghywir i Abimelech:
15. a 18. 19, 24 Fel y delai'r traha *a wnelsid* â deng
&c. mab a thrugain Jerubbaal, ac y gosodid eu
gwaed hwynt ar Abimelech eu brawd, yr
hwn a'u lladdodd hwynt; ac ar wŷr Sichem, y
‡ Heb. *a gryf-hasant ei ddwylaw ef.* rhai ‡ a'i cynnorthwyasant ef i ladd ei frodyr.
25 A gwŷr Sichem a osodasant iddo ef
gynllwynwŷr ar ben y mynyddoedd; a hwy
a yspeiliasant bawb a'r a oedd yn tramwy
heibio iddynt ar hŷd y ffordd. A mynegwyd
*hynny* i Abimelech.
26 A Gaal mab Ebed a ddaeth, efe a'i
frodyr, ac a aethant drosodd i Sichem: a
gwŷr Sichem a roisant eu hyder arno.
27 A hwy a aethant i'r meusydd, ac a
gasglasant eu gwinllannoedd, ac a sangasant
§ Neu, *eu grawnwin*, ac a wnaethant § yn llawen,
*ganiadau.* ac a aethant i mewn i dŷ eu duw, ac a
Edrych Esay 16. fwyttasant ac a yfasant, ac a felldithiasant
9. 10. Abimelech.
Jer. 25. 30. 28 A Gaal mab Ebed a ddywedodd, Pwy
*yw* Abimelech, a phwy *yw* Sichem, fel y
gwasanaethem ef? onid mab Jerubbaal *yw*
*efe?* onid Zebul *yw* ei swyddog? gwasa-
naethwch wŷr Hemor tad Sichem: canys
pa ham y gwasanaethem ni ef?
29 O na byddai'r bobl hyn dan fy llaw i,
fel y bwriwn ymaith Abimelech! Ac efe a
ddywedodd wrth Abimelech, Amlhâ dy lu,
a thyred allan.
30 ¶ A phan glybu Zebul, llywodraethwr
‖ Heb. y ddinas, eiriau Gaal mab Ebed, y ‖ llidiodd
*poethodd.* ei ddigllonedd ef.
31 Ac efe a anfonodd genhadau at Abi-
† Heb. melech † yn ddirgel, gan ddywedyd, Wele,
*yn ddi-chellgar, neu, i Tormah.* Gaal mab Ebed a'i frodyr wedi dyfod i Si-
chem; ac wele, hwynt yn cadarnhâu y ddi-
nas i'th erbyn.
32 Gan hynny cyfod yn awr liw nos, ti a'r
bobl *sydd* gyd â thi, a chynllwyn yn y maes.
33 A chyfod yn fore ar godiad yr haul, a
rhuthra yn erbyn y ddinas: ac wele, *pan*
ddelo efe a'r bobl *sydd* gyd ag ef allan i'th
‡ Heb. erbyn, yna gwna iddo ‡ yr hyn a ellych.
*fel y caffo dy law.* 34 ¶ Ac Abimelech a gyfododd, a'r holl
bobl y rhai *oedd* gyd ag ef, liw nos, ac a
gynllwynasant yn erbyn Sichem yn bedair
byddin.

35 A Gaal mab Ebed a aeth allan, ac a
safodd *wrth* ddrws porth y ddinas: ac Abi-
melech a gyfododd, a'r bobl y rhai *oedd* gyd
ag ef o'r cynllwyn.
36 A phan welodd Gaal y bobl, efe a
ddywedodd wrth Zebul, Wele, bobl yn dy-
fod i wared o ben y mynyddoedd. A dy-
wedodd Zebul wrtho, Cysgod y mynydd-
oedd yr ydwyt ti'n ei weled fel dynion.
37 A Gaal a 'chwanegodd etto lefaru, ac
a ddywedodd, Wele, bobl yn dyfod i wared
o § ganol y tir, a byddin arall yn dyfod o § Heb. *fogail.*
ffordd gwastadedd ‖ Meonenim. ‖ Neu,
38 Yna y dywedodd Zebul wrtho ef, Pa *ystyrwŷr*
le yn awr *y mae* dy enau di, *â'r hwn* y dy- *amser-*
wedaist, Pwy *yw* Abimelech, pan wasanaeth- *oedd.*
em ef? onid dyma'r bobl a ddirmygaist ti?
dos allan, attolwg, yn awr, ac ymladd i'w
herbyn.
39 A Gaal a aeth allan o flaen gwŷr Si-
chem, ac a ymladdodd ag Abimelech.
40 Ac Abimelech a'i herlidiodd ef, ac efe
a ffodd o'i flaen ef; a llawer a gwympasant
yn archolledig hyd ddrws y porth.
41 Ac Abimelech a drigodd yn Arumah:
a Zebul a yrrodd ymaith Gaal a'i frodyr o
breswylio yn Sichem.
42 A thrannoeth y daeth y bobl allan i'r
maes: a mynegwyd *hynny* i Abimelech.
43 Ac efe a gymmerth y bobl, ac a'u rhan-
nodd yn dair byddin, ac a gynllwynodd yn
y maes, ac a edrychodd, ac wele 'r bobl wedi
dyfod allan o'r ddinas; ac efe a gyfododd
yn eu herbyn, ac a'u tarawodd hwynt.
44 Ac Abimelech, a'r fyddin *oedd* gyd ag
ef, a ruthrasant, ac a safasant wrth ddrws
porth y ddinas: a'r ddwy fyddin *eraill* a ru-
thrasant ar yr holl *rai oedd* yn y maes, ac a'u
tarawsant hwy.
45 Ac Abimelech a ymladdodd yn erbyn
y ddinas yr holl ddiwrnod hwnnw: ac efe a
ynnillodd y ddinas, ac a laddodd y bobl *oedd*
ynddi, ac h a ddistrywiodd y ddinas, ac a'i h 1 Sam.
hauodd â halen. 12. 25.
46 ¶ A phan glybu holl wŷr tŵr Sichem
*hynny*, hwy a aethant i amddiffynfa tŷ duw
Berith.
47 A mynegwyd i Abimelech, ymgasglu o
holl wŷr tŵr Sichem.
48 Ac Abimelech a aeth i fynu i fynydd
Salmon, efe a'r holl bobl *oedd* gyd ag ef: ac
Abimelech a gymmerth fwyall yn ei law, ac
a dorrodd gangen o'r coed, ac a'i cymmerth
hi, ac a'i gosododd ar ei ysgwydd; ac a ddy-
wedodd wrth y bobl *oedd* gyd ag ef, Yr hyn
a welsoch fi yn ei wneuthur, brysiwch, gwn-
ewch fel finnau.
49 A'r holl bobl a dorrasant bob un ei
gangen, ac a aethant ar ol Abimelech; ac
a'u gosodasant wrth yr amddiffynfa, ac a
losgasant † â hwynt yr amddiffynfa â thân: † Neu,
felly holl wŷr tŵr Sichem a fuant feirw, *arnynt*
ynghylch mil o wŷr a gwragedd. *hwy.*
50 ¶ Yna Abimelech a aeth i Thebez; ac
a wersyllodd yn erbyn Thebez, ac a'i hyn-
nillodd hi.
51 Ac yr oedd tŵr cadarn ynghanol y
ddinas; a'r holl wŷr a'r gwragedd, a'r holl
rai o'r ddinas, a ffoisant yno, ac a gauasant
arnynt, ac a ddringasant ar nen y tŵr.
52 Ac Abimelech a ddaeth at y tŵr, ac a
ymladdodd yn ei erbyn; ac a nesaodd at
ddrws y tŵr, i'w losgi ef â thân.
53 A i rhyw wraig a daflodd ddarn o faen i 1 Sam. 11.
melin ar ben Abimelech, ac a ddrylliodd ei 21.
ben-glog ef.

k Felly 1 Sam. 31. 4. 54 Yna [k] y galwodd yn fuan ar y llangc
oedd yn dwyn ei arfau ef, ac a ddywedodd
wrtho, Tyn dy gleddyf, a lladd fi; fel na ddy-
wedant am danaf, Gwraig a'i lladdodd ef.
A'i langc a'i trywanodd ef, ac efe a fu farw.
55 A phan welodd gwŷr Israel farw o Abi-
melech, hwy a aethant bob un i'w fangre.
56 ¶ Felly y talodd Duw ddrygioni Abi-
melech, yr hwn a wnelsai efe i'w dad, gan
ladd ei ddeg brawd a thrugain.
57 A holl ddrygioni gwŷr Sichem a dal-
odd Duw ar eu pen hwynt: a melldith Jo-
tham mab Jerubbaal a ddaeth arnynt hwy.

## PEN. X.

Mawrth 21. B. 1 *Tola yn barnu Israel yn Samir. 3 Jair a'i*
*ddeg mab ar hugain, i'r rhai yr oedd deg*
*dinas ar hugain. 7 Y Philistiaid a'r Am-*
*moniaid yn gorthrymmu Israel. 10 Duw*
*yn eu cyfyngdra yn eu danfon hwy at eu*
*gau-dduwiau; 15 ac, ar eu hedifeirwch, yn*
*tosturio wrthynt.*

Cylch 1206. AC ar ol Abimelech, y cyfododd i † wa-
redu Israel, Tola, mab Puah, mab Dodo,
† Heb. achub. gwr o Issachar; ac efe oedd yn trigo yn
Samir ym mynydd Ephraim.
2 Ac efe a farnodd Israel dair blynedd ar
hugain, ac a fu farw, ac a gladdwyd yn
Samir.
Cylch 1183. 3 ¶ Ac ar ei ol ef y cyfododd Jair, Gile-
adiad; ac efe a farnodd Israel ddwy flynedd
ar hugain.
4 Ac iddo ef yr oedd deng mab ar hugain
a Pen. 12. 14. [a] yn marchogaeth ar ddeg ar hugain o ebol-
ion asynod; a deg dinas ar hugain *oedd* gan-
‡ Neu, Tref. ddynt, y rhai a elwyd ‡ Hafoth Jair hyd y
Num. 32. 41. dydd hwn, y rhai *ydynt* yngwlâd Gilead.
5 A Jair a fu farw, ac a gladdwyd yn
Camon.
Cylch 1161. 6 A [b] meibion Israel a 'chwanegasant
wneuthur yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr
b Pen. 2. 11. a 3. 7. a 4. 1. a 6. 1. a 13. 1. ARGLWYDD, ac a wasanaethasant Baalim,
ac [c] Astaroth, a duwiau Syria, a duwiau
Sidon, a duwiau Moab, a duwiau meibion
c Pen. 2. 13. Ammon, a duwiau'r Philistiaid; a gwrth-
odasant yr ARGLWYDD, ac ni wasanaeth-
asant ef.
7 ¶ A llidiodd digllonedd yr ARGLWYDD
d Pen. 2. 14. 1 Sam. 12. 9. yn erbyn Israel; ac efe [d] a'u gwerthodd
hwynt yn llaw'r Philistiaid, ac yn llaw meib-
ion Ammon.
8 A hwy a flinasant ac a ysigasant feib-
ion Israel y flwyddyn honno: tair blynedd
ar bymtheg, holl feibion Israel y rhai *oedd*
tu hwnt i'r Iorddonen, yngwlâd yr Amor-
iaid, yr hon *sydd* yn Gilead.
9 A meibion Ammon a aethant trwy'r
Iorddonen, i ymladd hefyd yn erbyn Judah,
ac yn erbyn Benjamin, ac yn erbyn tŷ
Ephraim; fel y bu gyfyng iawn ar Israel.
10 ¶ A meibion Israel a lefasant ar yr
ARGLWYDD, gan ddywedyd, Pechasom yn
dy erbyn; o herwydd gwrthod o honom ein
Duw, a gwasanaethu Baalim hefyd.
11 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
feibion Israel, Oni *waredais chwi* rhag yr
Aiphtiaid, a rhag yr Amoriaid, a rhag meib-
ion Ammon, a rhag y Philistiaid?
12 Y Sidoniaid hefyd, a'r Amaleciaid, a'r
Maoniaid, a'ch gorthrymmasant chwi; a
llefasoch arnaf, a minnau a'ch gwaredais
e Deut. 32. 15. Jer. 2. 13. chwi o'u llaw hwynt.
13 [e] Etto chwi a'm gwrthodasoch i, ac a
wasanaethasoch dduwiau dieithr: am hynny
f Deut. 32. 37, 38. Jer. 2. 28. ni waredaf chwi mwyach.
14 Ewch, a [f] llefwch at y duwiau a dde-
wisasoch: gwaredant hwy chwi yn amser
eich cyfyngdra.
15 ¶ A meibion Israel a ddywedasant
wrth yr ARGLWYDD, Pechasom, gwna di
i ni § fel y gwelych yn dda: etto gwared ni, § Heb. yr hyn fo da yn dy olwg.
attolwg, y dydd hwn.
16 A hwy a fwriasant ymaith y duwiau
‖ dieithr o'u mysg, ac a wasanaethasant yr ‖ Heb. dieithr-iaid.
ARGLWYDD: [g] a'i enaid ef a † dosturiodd, o
herwydd adfyd Israel.
17 Yna meibion Ammon a ‡ ymgyn- g Esa. 63. 9.
nullasant, ac a wersyllasant yn Gilead: a † Heb. gwtogwyd.
meibion Israel a ymgasglasant, ac a wer- ‡ Heb. griwyd ynghyd.
syllasant ym Mispah.
18 Y bobl hefyd *a* thywysogion Gilead
a ddywedasant wrth eu gilydd, Pa wr a
ddechreu ymladd yn erbyn meibion Am-
mon? efe [h] a fydd yn bennaeth ar drigolion h Pen. 11. 8, 11.
Gilead.

## PEN. XI.

1 *Yr ammod rhwng Jephthah a gwŷr Gilead, y* Mawrth 21. P.
*cai efe fod yn ben arnynt. 12 Ofer ydd yr*
*ymddiddan am heddwch rhyngddo ef a'r Am-*
*moniaid. 29 Adduned Jephthah. 32 Jeph-*
*thah yn gorchfygu'r Ammoniaid; 34 ac yn*
*cyflawni ei adduned ar ei ferch.*

A [a] Jephthah y Gileadiad oedd wr cadarn Cylch
nerthol, ac efe *oedd* fab i wraig o but- 1161.
teinwraig: a Gilead a genhedlasai y Jeph- a Heb. 11. 32, a elwir Jephthae.
thah hwnnw.
2 A gwraig Gilead a ymddûg iddo feib-
ion: a meibion y wraig a gynnyddasant, ac
a fwriasant ymaith Jephthah, ac a ddywed-
asant wrtho, Nid etifeddi di yn nhŷ ein tad
ni; canys mab gwraig ddieithr *wyt* ti.
3 Yna Jephthah a ffodd † rhag ei frodyr, † Neu, o wyneb.
ac a drigodd yngwlâd Tob; a dynion [b] ofer
a ymgasglasant at Jephthah, ac a aethant b Pen. 9. 4. 1 Sam. 22. 2.
allan gyd ag ef.
4 ¶ Ac wedi *talm* o ddyddiau, meibion
Ammon a ryfelasant yn erbyn Israel.
5 A phan oedd meibion Ammon yn rhy-
fela yn erbyn Israel, yna henuriaid Gilead a
aethant i gyrchu Jephthah o wlad Tob:
6 Ac a ddywedasant wrth Jephthah, Ty-
red a bydd yn dywysog i ni, fel yr ymlad-
dom yn erbyn meibion Ammon.
7 A Jephthah a ddywedodd wrth henur-
iaid Gilead, [c] Oni chasasoch chwi fi, ac a'm c Gen. 26. 27.
gyrrasoch o dŷ fy nhad? a pha ham y deuwch
attaf fi yn awr, pan *yw* gyfyng arnoch?
8 A henuriaid Gilead a ddywedasant wrth
Jephthah, Am hynny y dychwelasom yn
awr attat ti, fel y delit gyd â ni, ac yr ymlad-
dit yn erbyn meibion Ammon, ac y byddit i
ni yn ben ar holl drigolion Gilead.
9 A Jephthah a ddywedodd wrth henur-
iaid Gilead, O dygwch fi yn fy ol i ymladd
yn erbyn meibion Ammon, a rhoddi o'r
ARGLWYDD hwynt o'm blaen i; a gaf fi
fod yn ben arnoch chwi?
10 A henuriaid Gilead a ddywedasant
wrth Jephthah, Yr ARGLWYDD a fyddo'n
‡ dyst rhyngom ni, oni wnawn ni felly yn ol ‡ Heb. wrandawydd.
dy air di.
11 Yna Jephthah a aeth gyd â henuriaid
Gilead; a'r bobl a'i gosodasant ef yn ben ac
yn dywysog arnynt: a Jephthah a ad-
roddodd ei holl eiriau [d] ger bron yr AR- d Pen. 20. 1. 1 Sam. 10. 17.
GLWYDD ym Mispah.
12 ¶ A Jephthah a anfonodd genhadau at Cylch
frenhin meibion Ammon, gan ddywedyd, 1143.
Beth *sydd* i ti *a wnelych* â mi, fel y delit yn
fy erbyn i ymladd yn fy ngwlad i?
13 A brenhin meibion Ammon a ddywed- e Num. 21. 13.
odd wrth genhadau Jephthah, [e] O herwydd

i Israel ddwyn fy ngwlad i pan ddaeth i
fynu o'r Aipht, o Arnon hyd Jabboc, a hyd
yr Iorddonen: yn awr gan hynny dod hwynt
adref mewn heddwch.
14 A Jephthah a anfonodd drachefn gen-
hadau at frenhin meibion Ammon;
15 Ac a ddywedodd wrtho, Fel hyn y dy-
f Deut. 2. 9, 19. wed Jephthah; f Ni ddug Israel dir Moab,
na thir meibion Ammon:
16 Ond pan ddaeth Israel i fynu o'r
g Num. 14. 25. Aipht, a g rhodio trwy'r anialwch, hyd y
môr coch, a h dyfod i Cades;
h Num. 20. 1. 17 Yna i Israel a anfonodd genhadau at
i Num. 20. 14. frenhin Edom, gan ddywedyd, Gâd i mi
dramwy, attolwg, trwy dy wlad di. Ond ni
wrandawodd brenhin Edom. A hwy a anfo-
nasant hefyd at frenhin Moab: ond ni fynnai
yntau. Felly Israel a arhosodd yn Cades.
18 Yna hwy a gerddasant yn yr anialwch,
k Num. 21. 4. ac k a amgylchynasant wlad Edom, a gwlad
Moab; ac l a ddaethant o du codiad haul i
l Num. 21. 11. wlad Moab, ac a wersyllasant tu hwnt i
m Num. 21. 3. a 22. 36. Arnon; ac m ni ddaethant o fewn terfyn
Moab: canys n Arnon *oedd* derfyn Moab.
n Num. 21. 13. 19 Ac o Israel a anfonodd genhadau at
Sehon brenhin yr Amoriaid, brenhin Hes-
o Deut. 2. 26. bon; ac Israel a ddywedodd wrtho, p Gâd i
ni dramwy, attolwg, trwy dy wlad di, hyd fy
p Num. 21. 22. mangre.
20 Ond nid ymddiriedodd Sehon i Israel
fyned trwy ei derfyn ef: eithr Sehon a gas-
glodd ei holl bobl, a hwy a wersyllasant yn
Jahaz, ac efe a ymladdodd yn erbyn Israel.
21 Ac ARGLWYDD DDUW Israel a rod-
dodd Sehon a'i holl bobl yn llaw Israel; a
hwy a'u tarawsant hwynt. Felly Israel a
feddiannodd holl wlad yr Amoriaid, trigolion
y wlad honno.
q Deut. 2. 36. 22 Meddiannasant hefyd q holl derfyn-
au'r Amoriaid, o Arnon hyd Jabboc, ac o'r
anialwch hyd yr Iorddonen.
23 Felly yn awr, ARGLWYDD DDUW Is-
rael a fwriodd yr Amoriaid allan o flaen
ei bobl Israel: gan hynny *ai* tydi a'i medd-
iannit hi?
24 Oni feddienni di yr hyn a roddo Ce-
mos dy dduw i ti i'w feddiannu? Felly'r
hyn oll a oresgyno'r ARGLWYDD ein DUW
o'n blaen ni a feddiannwn ninnau.
r Num. 22. 2. 25 r Ac yn awr, *a wyt* ti yn well na Ba-
Deut. 23. 4. lac mab Sippor, brenhin Moab? a ymry-
Jos. 24. 9. sonodd efe erioed ag Israel, neu gan ymladd
Cylch 1152. a ymladdodd efe i'w herbyn hwy?
26 Pan oedd Israel yn trigo yn Hesbon
a'i threfydd, ac yn Aroer a'i threfydd, ac
yn yr holl ddinasoedd y rhai *sydd* wrth der-
fynau Arnon, dri chan mlynedd; pa ham
nad achubasoch *hwynt* y pryd hynny?
27 Am hynny ni phechais i yn dy erbyn
di; ond yr ydwyt ti 'n gwneuthur cam â mi,
gan ymladd yn fy erbyn i: yr ARGLWYDD
farnwr a farno heddyw rhwng meibion Is-
rael a meibion Ammon.
28 Er hynny ni wrandawodd brenhin
meibion Ammon ar eiriau Jephthah, y rhai
a anfonodd efe atto.
s Pen. 3. 10. 29 ¶ Yna y daeth s yspryd yr ARGLWYDD
ar Jephthah; ac efe a aeth dros Gilead a
Manasseh; ac a aeth dros Mispah Gilead,
ac o Mispah Gilead yr aeth efe drosodd *at*
feibion Ammon.
† Heb. *yr hyn a ddelo allan, a ddaw allan.* 30 A Jephthah a addunedodd adduned i'r
ARGLWYDD, ac a ddywedodd, Os gan roddi
y rhoddi di feibion Ammon yn fy llaw i;
31 Yna'r † hwn a ddelo allan o ddrysau
fy nhŷ i'm cyfarfod, pan ddychwelwyf
mewn heddwch oddi wrth feibion Ammon,
a fydd eiddo'r ARGLWYDD, a mi a'i hof-
frymmaf ef yn boeth-offrwm.
32 ¶ Felly Jephthah a aeth drosodd at Cylch
feibion Ammon i ymladd yn eu herbyn; a'r 1143.
ARGLWYDD a'u rhoddodd hwynt yn ei law
ef.
33 Ac efe a'u tarawodd hwynt o Aroer
hyd oni ddelych di i Minnith, *sef* ugain
dinas, a hyd ‡ wastadedd y gwinllannoedd, ‡ Neu, *Abel.*
â lladdfa fawr iawn. Felly y darostyn-
gwyd meibion Ammon o flaen meibion Is-
rael.
34 ¶ A Jephthah a ddaeth i Mispah i'w
dŷ ei hun: ac wele, t ei ferch yn dyfod allan t Exod. 15. 20.
i'w gyfarfod â thympanau, ac â dawnsiau, a 1 Sam. 18. 6.
hi *oedd ei* unig *etifedd* ef; nid *oedd* ganddo Psal. 68. 25.
§ na mab na merch ond y hi.
35 A phan welodd efe hi, efe a rwygodd § Neu, *o'r eiddo ei hun na mab na merch.*
ei ddillad, ac a ddywedodd, Ah! ah! fy
merch, gan ddarostwng y darostyngaist fi;
ti hefyd wyt *un* o'r rhai sydd yn fy mo-
lestu: canys myfi a agorais fy ngenau wrth Heb. *o hono ei hun.*
yr ARGLWYDD, ac ni allaf gilio.
36 A hi a ddywedodd wrtho, Fy nhad, *od*
agoraist dy enau wrth yr ARGLWYDD, gwna
i mi yn ol yr hyn a aeth allan o'th enau;
gan i'r ARGLWYDD wneuthur drosot ti
ddialedd ar dy elynion, meibion Am-
mon.
37 Hi a ddywedodd *hefyd* wrth ei thad,
Gwneler i mi y peth hyn: paid â mi ddau
fis, fel yr elwyf ‖ i fynu ac i wared ar y ‖ Heb. *a myned i wared.*
mynyddoedd, ac yr wylwyf o herwydd fy
morwyndod, mi a'm cyfeillesau.
38 Ac efe a ddywedodd, Dos. Ac efe a'i
gollyngodd hi *dros* ddau fis. A hi a aeth
â'i chyfeillesau, ac a wylodd o herwydd ei
morwyndod ar y mynyddoedd.
39 Ac ym mhen y ddau fis hi a ddychwel-
odd at ei thad: ac efe a wnaeth â hi'r addu-
ned a addunasai efe: a hi ni adnabuasai wr.
A bu *hyn* yn ddefod yn Israel, † Heb. *o flwyddyn i flwyddyn.*
40 Fyned o ferched Israel † bob blwydd-
yn i ‡ alaru am ferch Jephthah y Gileadiad, ‡ Neu, *ymddiddan â merch.*
bedwar diwrnod yn y flwyddyn.

## PEN. XII.

1 *Yr Ephraimiaid yn cweryla â Jephthah; a* Mawrth 22. B.
*gwŷr Gilead yn eu lladd hwynt, ac yn eu*
*hadnabod wrth y gair Shibboleth.* 7 *Marw-*
*olaeth Jephthah.* 8 *Ibsan, a'i ddeg mab ar*
*hugain, a'i ddeg merch ar hugain,* 11 *ac*
*Elon,* 13 *ac Abdon, a'i ddeugain mab, a'i*
*ddeg ŵyr ar hugain, yn barnu Israel.*

A a Gwŷr Ephraim a † ymgasglasant, ac Cylch
a aethant tu a'r gogledd, ac a ddywed- 1143.
asant wrth Jephthah, Pa ham yr aethost a Edrych Pen. 8. 1.
ti drosodd i ymladd yn erbyn meibion Am-
mon, ac na elwaist arnom ni i fyned gyd â † Heb. *alwyd ynghŷd.*
thi? dy dŷ di a losgwn ni am dy ben â
thân.
2 A Jephthah a ddywedodd wrthynt
hwy, Myfi a'm pobl oeddem yn ymryson yn
dost yn erbyn meibion Ammon; a mi a'ch
gelwais chwi, ond ni waredasoch fi o'u llaw
hwynt.
3 A phan welais i nad oeddych yn fy
achub, mi a osodais fy einioes yn fy llaw,
ac a euthum yn erbyn meibion Ammon;
a'r ARGLWYDD a'u rhoddodd hwynt yn
fy llaw i: pa ham gan hynny y daethoch
i fynu attaf fi y dydd hwn, i ymladd i'm
herbyn?
4 Yna Jephthah a gasglodd ynghŷd holl
wŷr Gilead, ac a ymladdodd ag Ephraim:

a gwŷr Gilead a darawsant Ephraim, am
ddywedyd o honynt hwy, Ffoaduriaid
Ephraim ym mysg yr Ephraimiaid, *ac* ym
mysg Manasseh, *ydych* chwi y Gileadiaid.
5 A'r Gileadiaid a ynnillasant rydau'r
Iorddonen o flaen yr Ephraimiaid: a phan
ddywedai yr Ephraimiaid a ddiangasent,
Gedwch i mi fyned drwodd; yna gwŷr
Gilead a ddywedent wrtho, Ai Ephratead
*ydwyt* ti? Os dywedai yntau, Nag ê;
6 Yna y dywedent wrtho, Dywed yn awr,
Shibboleth. Dywedai yntau, Sibboleth:
canys ni fedrai efe lefaru felly. Yna y dal-
ient ef, ac y lladdent ef wrth rydau'r Ior-
ddonen. A chwympodd y pryd hynny o
Ephraim ddwy fil a deugain.
Cylch 1137. 7 A Jephthah a farnodd Israel chwe
blynedd. Yna y bu farw Jephthah y Gilead-
iad, ac a gladdwyd yn *un* o ddinasoedd
Gilead.
8 ¶ Ac ar ei ol ef Ibsan o Bethlehem a
farnodd Israel.
9 Ac iddo ef yr oedd deng mab ar hu-
gain, a deng merch ar hugain, *y rhai* a an-
fonodd efe allan, a deng merch ar hugain a
ddug efe i'w feibion oddi allan. Ac efe a
farnodd Israel saith mlynedd.
10 Yna y bu farw Ibsan, ac a gladdwyd
yn Bethlehem.
Cylch 1130. 11 ¶ Ac ar ei ol ef Elon y Zabuloniad a
farnodd Israel: ac efe a farnodd Israel
ddeng mlynedd.
12 Ac Elon y Zabuloniad a fu farw, ac a
gladdwyd yn Ajalon, yngwlâd Zabulon.
Cylch 1120. 13 ¶ Ac Abdon mab Hilel y Pirathoniad
a farnodd Israel ar ei ol ef.
14 Ac iddo ef yr oedd deugain o feibion, a
b Pen. 5. 10. deg ar hugain o ŵyrion, b yn marchogaeth
a 10. 4. ar ddeg a thrugain o ebolion asynod: ac efe
a farnodd Israel wyth mlynedd.
Cylch 1112. 15 Ac Abdon mab Hilel y Pirathoniad a
fu farw; ac a gladdwyd yn Pirathon, yng-
wlâd Ephraim, ym mynydd yr Amalec-
iaid.

## PEN. XIII.

Mawrth 22. P. 1 *Israel yn llaw'r Philistiaid.* 2 *Angel yn ymddangos i wraig Manoah;* 8 *ac wedi hynny i Manoah.* 15 *Offrwm Manoah, ac adnabod yr angel.* 24 *Genedigaeth Samson.*

Cylch 1161. A Meibion Israel a 'chwanegasant a wneu-
thur yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr
a Pen. 2. 11. a 3. 7. a 4. 1. a 6. 1. a 10. 6. ARGLWYDD: a'r ARGLWYDD a'u rhodd-
odd hwynt yn llaw'r Philistiaid ddeugain
mlynedd.
2 ¶ Ac yr oedd rhyw wr yn Sorah, o
dylwyth y Daniaid, a'i enw ef *oedd* Ma-
noah, a'i wraig ef *oedd* ammhlantadwy, heb
esgor.
3 Ac angel yr ARGLWYDD a ymddang-
osodd i'r wraig, ac a ddywedodd wrthi,
Wele, yn awr ammhlantadwy *ydwyt* ti, ac
heb esgor: ond ti a feichiogi, ac a esgori ar
fab.
b Num. 6. 2, 3. 4 Ac yn awr, attolwg, ymochel, ac b nac
ŷf win na diod gadarn, ac na fwytta ddim
aflan.
5 Canys wele, ti a feichiogi, ac a esgori
c Num. 6. 5. 1 Sam. 1. 11. ar fab: ac c ni ddaw ellyn ar ei ben ef:
canys Nazaread i DDUW fydd y bachgen
o'r groth: ac efe a ddechreu waredu Israel o
law'r Philistiaid.
6 ¶ Yna y daeth y wraig ac a fynegodd
i'w gwr, gan ddywedyd, Gwr Duw a
ddaeth attaf fi; a'i bryd ef *oedd* fel pryd an-
gel DUW, yn ofnadwy iawn: ond ni ofynais
iddo o ba le yr oedd, ac ni fynegodd yntau i
mi ei enw.
7 Ond efe a ddywedodd wrthyf, Wele, ti
a feichiogi, ac a esgori ar fab. Ac yn awr
nac ŷf win na diod gadarn, ac na fwytta
ddim aflan: canys Nazaread i DDUW fydd
y bachgen, o'r groth hyd ddydd ei farw-
olaeth.
8 ¶ Yna Manoah a weddïodd ar yr AR-
GLWYDD, ac a ddywedodd, Attolwg, fy
arglwydd, gâd i wr DUW'r hwn a anfonaist,
ddyfod eilwaith attom ni, a dysgu i ni beth
a wnelom i'r bachgen a enir.
9 A DUW a wrandawodd ar lef Manoah:
ac angel DUW a ddaeth eilwaith at y wraig
a hi yn eistedd yn y maes; ond Manoah ei
gwr nid *oedd* gyd â hi.
10 A'r wraig a frysiodd, ac a redodd, ac a
fynegodd i'w gwr, ac a ddywedodd wrtho,
Wele, ymddangosodd y gwr i mi, yr hwn a
ddaeth attaf fi y dydd *arall*.
11 A Manoah a gyfododd, ac a aeth ar ol
ei wraig, ac a ddaeth at y gwr, ac a ddywed-
odd wrtho, Ai ti *yw*'r gwr a leferaist wrth y
wraig? Dywedodd yntau *Ie* myfi.
12 A dywedodd Manoah, Deled yn awr
dy eiriau i ben. † Pa fodd y trinwn y † Heb. *Pa fath fydd ar y bachgen?*
bachgen, ‡ ac y gwnawn iddo ef?
13 Ac angel yr ARGLWYDD a ddywed-
odd wrth Manoah, Rhag yr hyn oll a ddy- ‡ Neu, *a pha beth a wna efe?* Heb. *beth fydd ei waith ef?*
wedais wrth y wraig, ymogheled hi.
14 Na fwyttâed o ddim a ddel allan o'r
winwŷdden, nac yfed win na diod gadarn,
ac na fwyttâed ddim aflan: cadwed yr hyn
oll a orchymynais iddi.
15 ¶ A dywedodd Manoah wrth angel
yr ARGLWYDD, d Gâd, attolwg, i ni dy attal, d Gen. 18. 5. Pen. 6. 18.
tra y parottôm fynn gafr ger dy fron di.
16 Ac angel yr ARGLWYDD a ddywed-
odd wrth Manoah, Ped attelit fi, ni fwyt-
tâwn o'th fara di: os gwnei boeth-offrwm,
gwna ef i'r ARGLWYDD. Canys ni wydd-
ai Manoah mai angel yr ARGLWYDD *oedd*
efe.
17 A Manoah a ddywedodd wrth angel
yr ARGLWYDD, Beth *yw* dy enw, fel
y'th anrhydeddom di pan ddelo dy eiriau
*i ben?*
18 Ac angel yr ARGLWYDD a ddywed-
odd wrtho, e Pa ham yr ymofyni am fy enw, e Gen. 32. 29.
gan ei *fod* f yn rhyfeddol?
19 Felly Manoah a gymmerth fynn gafr, f Esay 9. 6.
a bwyd-offrwm, ac a'i hoffrymmodd ar y
graig i'r ARGLWYDD. A'r *angel* a wnaeth
yn rhyfedd; a Manoah a'i wraig oedd yn
edrych.
20 Canys, pan ddyrchafodd y fflam oddi
ar yr allor tu a'r nefoedd, yna angel yr AR-
GLWYDD a ddyrchafodd yn fflam yr allor:
a Manoah a'i wraig oedd yn edrych ar *hynny*;
ac a syrthiasant i lawr ar eu hwynebau.
21 (Ond ni 'chwanegodd angel yr AR-
GLWYDD ymddangos mwyach i Manoah,
nac i'w wraig.) Yna y gwybu Manoah mai
angel yr ARGLWYDD *oedd* efe.
22 A Manoah a ddywedodd wrth ei wraig,
g Gan farw y byddwn feirw; canys gwelsom g Exod. 33. 20. Deut. 5. 26. Pen. 6. 22.
DDUW.
23 Ond ei wraig a ddywedodd wrtho ef,
Pe mynnasai'r ARGLWYDD ein lladd ni,
ni dderbyniasai efe boeth-offrwm a bwyd-
offrwm o'n llaw ni, ac ni ddangosasai efe
i ni'r holl *bethau* hyn, ac ni pharasai efe i ni
y pryd hyn glywed *y fath bethau*.
24 ¶ A'r wraig a ymddûg fab, ac a alw- h Heb. 11. 32.
odd ei enw ef h Samson. A'r bachgen a

gynnyddodd; a'r ARGLWYDD a'i bendithiodd ef.

i 1 Sam. 11. 6. 25 Ac i yspryd yr ARGLWYDD a ddechreuodd ar amseroedd ei gynhyrfu ef yngwersyll Dan, rhwng Sorah ac Estaol.

## PEN. XIV.

Mawrth 23. B. 1 *Samson yn deisyf cael gwraig o'r Philistiaid: 6 yn lladd llew yn ei daith; 8 ac wrth ddychwelyd, yn cael mel yn ei 'sgerbwd ef. 10 Gwledd briodas Samson. 12 Ei wraig yn datguddio ei ddychymmyg ef. 19 Yntau yn yspeilio deg ar hugain o'r Philistiaid. 20 Ei wraig ef yn priodi un arall.*

Cylch 1141. A Samson a aeth i wared i Timnath; ac a ganfu wraig yn Timnath, o ferched y Philistiaid.

2 Ac efe a ddaeth i fynu, ac a fynegodd i'w dad ac i'w fam, ac a ddywedodd, Mi a welais wraig yn Timnath o ferched y Philistiaid: cymmerwch yn awr honno yn wraig i mi.

3 Yna y dywedodd ei dad a'i fam wrtho, Onid *oes* ym mysg merched dy frodyr, nac ym mysg fy holl bobl, wraig, pan ydwyt ti yn myned i geisio gwraig o'r Philistiaid dienwaededig? A dywedodd Samson wrth ei dad, Cymmer hi i mi; canys y mae hi † wrth fy modd i.

† Heb. *yn union yn fy ngolwg i.*

4 Ond a ni wyddai ei dad ef na'i fam mai oddi wrth yr ARGLWYDD *yr oedd* hyn, mai ceisio achos yr oedd efe yn erbyn y Philistiaid: canys y Philistiaid oedd y pryd hynny yn arglwyddiaethu ar Israel.

a 1 Bren. 12. 15. 2 Chron. 10. 15. a 22. 7. a 25. 20.

5 Yna Samson a aeth i wared, a'i dad a'i fam, i Timnath; ac a ddaethant hyd winllannoedd Timnath: ac wele, genaw llew yn rhuo yn ei gyfarfod ef.

b Pen. 3. 10. 1 Sam. 11. 6. 6 Ac b yspryd yr ARGLWYDD a ddaeth yn rymmus arno ef; ac efe a holltodd *y llew* fel yr holltid mynn, ac nid *oedd* dim yn ei law ef: ond ni fynegodd efe i'w dad nac i'w fam yr hyn a wnelsai.

7 Ac efe a aeth i wared, ac a ymddiddanodd â'r wraig; ac yr oedd hi wrth fodd Samson.

8 ¶ Ac ar ol ychydig ddyddiau efe a ddychwelodd i'w chymmeryd hi; ac a drodd i edrych ysgerbwd y llew: ac wele, haid o wenyn a mel ynghorph y llew.

9 Ac efe a'i cymmerth yn ei law, ac a gerddodd dan fwytta; ac a ddaeth at ei dad a'i fam, ac a roddodd iddynt; a hwy a fwyttasant: ond ni fynegodd iddynt hwy, mai o gorph y llew y cymmerasai efe 'r mel.

10 ¶ Felly ei dad ef a aeth i wared at y wraig; a Samson a wnaeth yno wledd: canys felly y gwnai 'r gwŷr ieuaingc.

11 A phan welsant hwy ef, yna y cymmerasant ddeg ar hugain o gyfeillion i fod gyd ag ef.

c 1 Bren. 10. 1. 12 ¶ A Samson a ddywedodd wrthynt, c Rhoddaf i chwi ddychymmyg yn awr: os gan fynegi y mynegwch ef i mi o fewn saith niwrnod y wledd, ac a'i cewch; yna y rhoddaf i chwi ddeg ar hugain o ‡ lenlliainiau, a deg pâr ar hugain o ddillad:

‡ Neu, *grysau.*

13 Ond os chwi ni fedrwch *ei* fynegi i mi; yna chwi a roddwch i mi ddeg ar hugain o lenlliainiau, a deg pâr ar hugain o wisgoedd. Hwythau a ddywedasant wrtho, Traetha dy ddychymmyg, fel y clywom ef.

14 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Allan o'r bwyttâwr y daeth bwyd, ac o'r cryf y daeth allan felysdra. Ac ni fedrent ddirnad y dychymmyg mewn tri diwrnod.

15 Ac yn y seithfed dydd y dywedasant wrth wraig Samson, Huda dy wr, fel y mynego efe i ni y dychymmyg; rhag i ni dy losgi di a thŷ dy dad â thân: ai i'n § tlodi ni y'n gwahoddasoch? onid *felly y mae?*

§ Neu, *meddiannu.*

16 A gwraig Samson a wylodd wrtho ef, ac a ddywedodd, Yn ddïau y mae yn gas gennyt fi, ac nid wyt yn fy ngharu: dychymmyg a roddaist i feibion fy mhobl, ac ni's mynegaist i mi. A dywedodd yntau wrthi, Wele, ni's mynegais i'm tad nac i'm mam: ac a'i mynegwn i ti?

17 A hi a wylodd wrtho ef y saith niwrnod hynny, tra yr oeddid yn cynnal y wledd: ac ar y seithfed dydd y mynegodd efe iddi hi; canys yr oedd hi yn ei flino ef: a hi a fynegodd y dychymmyg i feibion ei phobl.

18 A gwŷr y ddinas a ddywedasant wrtho ef y seithfed dydd, cyn machludo 'r haul, Beth *sydd* felysach nâ mel? a pheth gryfach nâ llew? Dywedodd yntau wrthynt, Oni buasai i chwi aredig â'm hanneir i, ni chawsech allan fy nychymmyg.

19 ¶ Ac yspryd yr ARGLWYDD a ddaeth arno ef; ac efe a aeth i wared i Ascalon, ac a darawodd o honynt ddeg ar hugain, ac a gymmerth eu || hyspail, ac a roddodd y parau dillad i 'r rhai a fynegasant y dychymmyg: a'i ddigllonedd ef a lidiodd, ac efe a aeth i fynu i dŷ ei dad.

|| Neu, *dillad.*

20 A rhoddwyd gwraig Samson i'w gyfaill ef ei hun, yr hwn a gymmerasai efe yn gyfaill.

## PEN. XV.

1 *Samson yn cael nâg am ei wraig. 3 Yntau yn llosgi ŷd y Philistiaid â llwynogod ac â ffaglau. 6 Y Philistiaid yn llosgi ei wraig ef a'i thad. 7 Samson yn eu taro hwynt glun a morddwyd. 9 Gwŷr Judah yn ei rwymo ef, ac yn ei draddodi i'r Philistiaid. 14 Yntau yn eu lladd hwynt â gên asyn. 18 Duw yn gwneuthur y ffynnon En-haccore iddo ef yn Lehi.* Mawrth 23. P.

AC wedi *talm* o ddyddiau, yn amser cynhauaf y gwenith, Samson a aeth i ymweled â'i wraig â mynn gafr; ac a ddywedodd, Mi a af i mewn at fy ngwraig i 'r ystafell. Ond ni chaniattâe ei thad hi iddo ef fyned i mewn. Cylch 1140.

2 A'i thad a lefarodd, gan ddywedyd, Tybiaswn it' ei chasâu hi; am hynny y rhoddais hi i'th gyfaill di: onid *yw* ei chwaer ieuangaf yn lanach nâ hi? bydded *honno* i ti, attolwg, yn ei lle hi.

3 ¶ A Samson a ddywedodd wrthynt, † Difeiach ydwyf y waith hon nâ 'r Philistiaid, er i mi wneuthur niweid iddynt.

† Neu, *Dyfai, &c. oddi wrth.*

4 A Samson a aeth ac a ddaliodd dri chant o lwynogod; ac a gymmerth ‡ ffaglau, ac a drodd gynffon at gynffon, ac a osododd un ffagl rhwng dwy gynffon yn y canol.

‡ Neu, *lenteuynion.*

5 Ac efe a gynneuodd dân yn y ffaglau, ac a'u gollyngodd *hwynt* i ydau 'r Philistiaid; ac a losgodd hyd yn oed y dasau, a'r ŷd ar ei droed, y gwinllannoedd *hefyd, a'r* olewŷdd.

6 ¶ Yna y Philistiaid a ddywedasant, Pwy a wnaeth hyn? Hwythau a ddywedasant, Samson § daw y Timniad; am iddo ddwyn ei wraig ef, a'i rhoddi i'w gyfaill ef. A'r Philistiaid a aethant i fynu, ac a'i llosgasant hi a'i thad â thân.

§ *mab ynghyfraith.*

7 ¶ A dywedodd Samson wrthynt, Er i chwi wneuthur fel hyn, etto mi a ymddïalaf arnoch chwi; ac wedi *hynny* y peidiaf.

8 Ac efe a'u tarawodd hwynt glun a morddwyd â lladdfa fawr: ac efe a aeth i wared, ac a arhosodd ynghoppa craig Etam.

9 ¶ Yna y Philistiaid a aethant i fynu, ac a wersyllasant yn Judah, ac a ymdaenasant yn Lehi.

10 A gwŷr Judah a ddywedasant, Pa ham y daethoch i fynu i'n herbyn ni? Dywedasant hwythau, I rwymo Samson y daethom i fynu, i wneuthur iddo ef fel y gwnaeth yntau i ninnau.

11 Yna tair mil o wŷr o Judah a † aethant i goppa craig Etam, ac a ddywedasant wrth Samson, Oni wyddost ti *fod* y Philistiaid yn arglwyddiaethu arnom ni? pa ham gan hynny y gwnaethost hyn â ni? Dywedodd yntau wrthynt, Fel y gwnaethant hwy i mi, felly y gwneuthum innau iddynt hwythau.

† Heb. *ddisgynasant.*

12 Dywedasant hwythau wrtho, I'th rwymo di y daethom i wared, *ac* i'th roddi *yn* llaw 'r Philistiaid. A Samson a ddywedodd wrthynt, Tyngwch wrthyf, na ruthrwch arnaf fi eich hunain.

13 Hwythau a'i hattebasant ef, gan ddywedyd, Na *ruthrwn*: eithr gan rwymo y'th rwymwn di, ac y'th roddwn yn eu llaw hwynt; ond ni'th laddwn di. A rhwymasant ef â dwy raff newydd, ac a'i dygasant ef i fynu o'r graig.

14 ¶ *A* phan ddaeth efe i Lehi, y Philistiaid a floeddiasant wrth gyfarfod ag ef. Ac yspryd yr ARGLWYDD a ddaeth arno ef; a'r rhaffau *oedd* am ei freichiau a aethant fel llin a losgasid yn tân, a'r rhwymau a ‡ ddattodasant oddi am ei ddwylaw ef.

‡ Heb. *doddasant.*

15 Ac efe a gafodd ên asyn ir; ac a estynodd ei law, ac a'i cymmerodd, ac a laddodd â hi fil o wŷr.

16 A Samson a ddywedodd, A gên asyn, § pentwr ar bentwr; â gên asyn y lleddais fil o wŷr.

§ Heb. *pentwr, dau bentwr.*

17 A phan orphenodd efe lefaru, yna efe a daflodd yr ên o'i law, ac a alwodd y lle hwnnw ‖ Ramath-lehi.

‖ Sef, *Cyfodiad yr ên*, neu, *Taflad yr ên.*

18 ¶ Ac efe a sychedodd yn dost; ac a lefodd ar yr ARGLWYDD, ac a ddywedodd, Tydi a roddaist yn llaw dy was yr ymwared mawr yma: ac yn awr a fyddaf fi farw gan syched, a syrthio yn llaw y rhai dïenwaededig?

19 Ond DUW a holltodd y cilddant *oedd* yn † yr ên, fel y daeth allan ddwfr o hono; ac efe a yfodd, a'i yspryd a ddychwelodd, ac efe a adfywiodd: am hynny y galwodd efe ei henw ‡ En-haccore, yr hon *sydd* yn Lehi hyd y dydd hwn.

† Neu, *Lehi.*
‡ *Ffynnon y gelwad.*

20 Ac efe a farnodd Israel yn nyddiau 'r Philistiaid ugain mlynedd.

## PEN. XVI.

Mawrth 24. B.

1 *Samson yn diangc yn Gazah, ac yn dwyn ymaith ddrysau porth y ddinas.* 4 *Dalilah, wedi ei gwobri gan y Philistiaid, yn hudo Samson.* 6 *Yntau yn ei thwyllo hi deirgwaith.* 15 *Hithau o'r diwedd yn ei orchfygu ef.* 21 *Y Philistiaid yn ei ddala, ac yn tynnu ei lygaid ef.* 22 *Yntau wedi adnewyddu ei gryfder, yn tynnu 'r tŷ i lawr am ben y Philistiaid, ac yn marw.*

Cylch 1120.

YNA Samson a aeth i Gazah; ac a ganfu yno butteinwraig, ac a aeth i mewn atti hi.

2 *A mynegwyd* i'r Gaziaid, gan ddywedyd, Daeth Samson yma. A hwy a gylchynasant, ac a gynllwynasant iddo, ar hŷd y nos, ym mhorth y ddinas; ac a fuant ddistaw ar hŷd y nos, gan ddywedyd, Y bore pan oleuo hi, ni a'i lladdwn ef.

3 A Samson a orweddodd hyd hanner nos; ac a gyfododd ar hanner nos, ac a ymaflodd yn nrysau porth y ddinas, ac yn y ddau bost, ac a aeth ymaith â hwynt ynghŷd â'r barr, ac a'u gosododd ar ei ysgwyddau, ac a'u dug hwynt i fynu i ben bryn *sydd* gyferbyn a Hebron.

4 ¶ Ac wedi hyn efe a garodd wraig yn nyffryn Sorec, a'i henw Dalilah.

5 Ac arglwyddi'r Philistiaid a aethant i fynu atti hi, ac a ddywedasant wrthi, Huda ef, ac edrych ym mha † *le y mae* ei fawr nerth ef, a pha fodd y gorthrechwn ef, fel y rhwymom ef i'w ‡ gystuddio: ac ni a roddwn i ti bob un fil a chant o arian.

† *beth.*
‡ Neu, *ddarostwng.*

6 A Dalilah a ddywedodd wrth Samson, Mynega i mi, attolwg, ym mha § *fan y mae* dy fawr nerth di, ac â pha beth y'th rwymid i'th gystuddio.

§ *beth.*

7 A Samson a ddywedodd wrthi, Pe rhwyment fi â saith ‖ o wdyn irion, y rhai ni sychasai; yna y gwanhychwn, ac y byddwn fel † gwr arall.

‖ Neu, *o reffynau.*
† Heb. *un.*

8 Yna arglwyddi'r Philistiaid a ddygasant i fynu atti hi saith o wdyn irion, y rhai ni sychasent; a hi a'i rhwymodd ef â hwynt.

9 (A chynllwynwŷr *oedd* yn aros ganddi mewn ystafell) A hi a ddywedodd wrtho ef, *Y mae* 'r Philistiaid arnat ti, Samson. Ac efe a dorrodd y gwdyn, fel y torrir edau garth wedi ‡ cyffwrdd *â*'r tân: felly ni wybuwyd ei gryfder ef.

‡ Heb. *arogli.*

10 A dywedodd Dalilah wrth Samson, Ti a'm twyllaist, ac a ddywedaist gelwydd wrthyf: yn awr mynega i mi, attolwg, â pha beth y gellid dy rwymo.

11 Ac efe a ddywedodd wrthi, Pe gan rwymo y rhwyment fi â rhaffau newyddion, y rhai ni wnaethpwyd gwaith â hwynt; yna y gwanhychwn, ac y byddwn fel gwr arall.

12 Am hynny Dalilah a gymmerth raffau newyddion, ac a'i rhwymodd ef â hwynt; ac a ddywedodd wrtho, *Y mae* 'r Philistiaid arnat ti, Samson. (Ac *yr oedd* cynllwynwŷr yn aros mewn ystafell) Ac efe a'u torrodd hwynt oddi am ei freichiau fel edau.

13 A Dalilah a ddywedodd wrth Samson, Hyd yn hyn y twyllaist fi, ac y dywedaist gelwydd wrthyf: mynega i mi, â pha beth y'th rwymid. Dywedodd yntau wrthi hi, Pe plethit ti saith gudyn fy mhen ynghŷd â'r we.

14 A hi a'i gwnaeth yn sicr â'r hoel; ac a ddywedodd wrtho ef, *Y mae* 'r Philistiaid arnat ti, Samson. Ac efe a ddeffrôdd o'i gwsg, ac a aeth ymaith â hoel y garfan, ac â'r we.

15 ¶ A hi a ddywedodd wrtho ef, Pa fodd y dywedi, Cu gennyf dydi, a'th galon heb *fod* gyd â mi? Teirgwaith bellach y'm twyllaist, ac ni fynegaist i mi ym mha *fan y mae* dy fawr nerth.

16 Ac o herwydd ei bod hi yn ei flino ef â'i geiriau beunydd, ac yn ei boeni ef; ei enaid a § ymofidiodd i farw:

§ Heb. *ymfyrhaodd.*

17 Ac efe a fynegodd iddi ei holl galon; ac a ddywedodd wrthi, [a] Ni ddaeth ellyn ar fy mhen i: canys Nazaread i DDUW *ydwyf* fi o groth fy mam. Ped eillid fi, yna y ciliai fy nerth oddi wrthyf, ac y gwanhychwn, ac y byddwn fel gwr *arall.*

[a] Num. 6. 5.

18 A phan welodd Dalilah fynegi o hono ef iddi ei holl galon, hi a anfonodd ac a alwodd am bendefigion y Philistiaid, gan

ddywedyd, Deuwch i fynu unwaith; canys
efe a fynegodd i mi ei holl galon. Yna ar-
glwyddi 'r Philistiaid a ddaethant i fynu atti
hi, ac a ddygasant arian yn eu dwylaw.
19 A hi a wnaeth iddo gysgu ar ei glin-
iau; ac a alwodd ar wr, ac a barodd eillio
saith gudyn ei ben ef: a hi a ddechreuodd
ei gystuddio ef; a'i nerth a ymadawodd
oddi wrtho.
20 A hi a ddywedodd, *Y mae* 'r Philistiaid
arnat ti, Samson. Ac efe a ddeffrôdd o'i
gwsg, ac a ddywedodd, Af allan y waith hon
fel cynt, ac ymysgydwaf. Ond ni wyddai
efe fod yr ARGLWYDD wedi cilio oddi wrtho.
21 ¶ Ond y Philistiaid a'i daliasant ef,
† Heb. *dyllasant.* ac a † dynnasant ei lygaid ef, ac a'i dyg-
asant ef i wared i Gazah, ac a'i rhwymasant
ef â gefynnau pres; ac yr oedd efe yn malu
yn y carchardy.
22 Eithr gwallt ei ben ef a ddechreuodd
‡ Heb. *fel pan eilliwyd ef.* dyfu drachefn, ‡ ar ol ei eillio.
23 Yna arglwyddi 'r Philistiaid a ym-
gasglasant i aberthu aberth mawr i Ddagon
eu duw, ac i orfoleddu: canys dywedasant,
Ein duw ni a roddodd Samson ein gelyn yn
ein llaw ni.
24 A phan welodd y bobl ef, hwy a gan-
molasant eu duw: canys dywedasant, Ein
duw ni a roddodd ein gelyn yn ein dwylaw
ni, yr hwn oedd yn anrheithio 'n gwlad ni,
§ Heb. *amlhaodd ein lladdedigion.* yr hwn a § laddodd lawer o honom ni.
25 A phan oedd eu calon hwynt yn
llawen, yna y dywedasant, Gelwch am
Samson, i beri i ni chwerthin. A hwy a
alwasant am Samson o'r carchardy, fel y
chwareuai o'u blaen hwynt; a hwy a'i
gosodasant ef rhwng y colofnau.
26 A Samson a ddywedodd wrth y llangc
oedd yn ymaflyd yn ei law ef, Gollwng, a
gâd i mi gael gafael ar y colofnau y mae 'r
tŷ yn sefyll arnynt, fel y pwyswyf arnynt.
27 A'r tŷ oedd yn llawn o wŷr a gwrag-
edd; a holl arglwyddi 'r Philistiaid *oedd*
yno: ac ar y nen *yr oedd* ynghylch tair mil
o wŷr a gwragedd yn edrych tra ydoedd
Samson yn chwarae.
28 A Samson a alwodd ar yr ARGLWYDD,
ac a ddywedodd, O Arglwydd JOR, cofia
fi attolwg, a nertha fi attolwg, yn unig y
waith hon, O DDUW, fel y dialwyf *ag* un
dialedd ar y Philistiaid am fy nau lygad.
29 A Samson a ymaflodd yn y ddwy
golofn ganol, y rhai yr oedd y tŷ yn sefyll
arnynt, ac a ymgynhaliodd wrthynt, un yn
ei ddeheulaw, a'r llall yn ei law aswy.
30 A dywedodd Samson, Bydded farw fy
einioes gyd â'r Philistiaid. Ac efe a ym-
grymmodd â'i *holl* nerth; a syrthiodd y tŷ
ar y pendefigion, ac ar yr holl bobl *oedd*
ynddo: a'r meirw y rhai a laddodd efe
wrth farw, oedd fwy nag a laddasai efe yn
ei fywyd.
31 A'i frodyr ef, a holl dŷ ei dad ef, a
ddaethant i wared, ac a'i cymmerasant ef,
ac a'i dygasant i fynu, ac a'i claddasant ef
rhwng Sorah ac Estaol, ym meddrod Ma-
noah ei dad. Ac efe a farnasai Israel ugain
mlynedd.

## PEN. XVII.

Mawrth 24. P. 1 *Ei fam yn gwneuthur delwau o'r arian a la-*
*drattasai Micah, ac a roisai yn eu hol.* 5
*Yntau yn gwneuthur gwisgoedd iddynt;* 7
*ac yn cyflogi Lefiad i fod yn offeiriad iddo.*

Cylch 1406. AC yr oedd gwr o fynydd Ephraim, a'i
enw Micah.
2 Ac efe a ddywedodd wrth ei fam, Y mil
a'r can *sicl* arian a ddygpwyd oddi arnat, ac
y rhegaist *am danynt*, ac y dywedaist hefyd
lle y clywais; wele, yr arian gyd â mi, myfi a'i
cymmerais. A dywedodd ei fam, Bendigedig
*fyddych*, fy mab, gan yr ARGLWYDD.
3 A phan roddodd efe y mil a'r can *sicl*
arian adref i'w fam, ei fam a ddywedodd,
Gan gyssegru y cyssegraswn yr arian i'r AR-
GLWYDD o'm llaw, i'm mab, i wneuthur
delw gerfiedig a thoddedig: am hynny yn
awr mi a'i rhoddaf eilwaith i ti.
4 Etto efe a dalodd yr arian i'w fam. A'i
fam a gymmerth ddau can *sicl* o arian, ac
a'u rhoddodd i'r toddydd; ac efe a'u
gwnaeth yn ddelw gerfiedig, a thoddedig: a
hwy a fuant yn nhŷ Micah.
5 A chan y gwr hwn Micah *yr oedd* tŷ
duwiau; ac efe a wnaeth [a] ephod, a [b] the- [a] Pen. 8. 27.
raphim, ac a † gyssegrodd un o'i feibion i
fod yn offeiriad iddo. [b] Gen. 31. 19.
6 [c] Yn y dyddiau hynny nid *oedd* brenhin [c] Hos. 3. 4.
yn Israel; ond pob un a wnai *yr hyn oedd* † Heb. *lanwodd dawylaw.*
union yn ei olwg ei hun.
7 ¶ Ac yr oedd gwr ieuangc o [d] Beth-
lehem Judah, o dylwyth Judah, a Lefiad [c] Pen. 18. 1. a 21. 25.
*oedd* efe; ac efe a ymdeithiai yno. [d] Edrych
8 A'r gwr a aeth allan o'r ddinas o Beth- Jos. 19. 15.
lehem Judah, i drigo pa le bynnag y caffai
*le*: ac efe a ddaeth i fynydd Ephraim i dŷ
Micah, yn ei ymdaith.
9 A Micah a ddywedodd wrtho, O ba
le y daethost ti? Dywedodd yntau wrtho,
Lefiad *ydwyf* o Bethlehem Judah; a myned
yr ydwyf i drigo lle caffwyf *le*.
10 A Micah a ddywedodd wrtho, Trig
gyd â mi, a bydd i mi yn dad ac yn offei-
riad; a mi a roddaf i ti ddeg *sicl* o arian bob
blwyddyn, a ‡ phâr o ddillad, a'th luniaeth. ‡ Heb. *threfn.*
Felly y Lefiad a aeth i mewn.
11 A'r Lefiad a fu foddlon i aros gyd
â'r gwr; a'r gwr ieuangc oedd iddo fel un
o'i feibion.
12 A Micah a urddodd y Lefiad; a'r gwr
ieuangc fu yn offeiriad iddo, ac a fu yn nhŷ
Micah.
13 Yna y dywedodd Micah, Yn awr y
gwn y gwna 'r ARGLWYDD ddaioni i mi;
gan fod Lefiad gennyf yn offeiriad.

## PEN. XVIII.

1 *Meibion Dan yn anfon pumwr i geisio iddynt* Mawrth 26. B.
*etifeddiaeth.* 3 *Hwythau wrth dŷ Micah yn*
*ymgynghori â Jonathan; ac yn cael cysur i*
*fyned rhagddynt:* 7 *yn chwilio Laïs, ac yn*
*dwyn newyddion gobeithfawr.* 11 *Danfon*
*chwe chant o wŷr i osod ar y dref.* 14 *A'r*
*rhai hynny ar y ffordd yn yspeilio Micah am*
*ei offeiriad a'i greiriau;* 27 *ac yn ennill*
*Laïs, ac yn ei galw hi Dan;* 30 *ac yn gosod*
*i fynu ddelw-addoliaeth, lle y cafodd Jona-*
*than yr offeiriadaeth yn etifeddiaeth iddo.*

YN [a] y dyddiau hynny nid *oedd* brenhin Cylch
yn Israel: ac yn y dyddiau hynny 1406.
[b] llwyth y Daniaid oedd yn ceisio iddynt [a] Pen. 17. 6. a 21. 25.
etifeddiaeth i drigo; canys ni syrthiasai
iddynt hyd y dydd hwnnw etifeddiaeth ym [b] Jos. 19. 47.
mysg llwythau Israel.
2 A meibion Dan a anfonasant o'u ty-
lwyth bump o wŷr o'u bro, † gwŷr grym- † Heb. *meibion.*
mus, o Sorah, ac o Estaol, i ysbïo 'r wlad,
ac i'w chwilio; ac a ddywedasant wrthynt,
Ewch, chwiliwch y wlad. A phan ddaeth-
ant i fynydd Ephraim i dŷ Micah, hwy a
lettyasant yno.

3 Pan *oeddynt* hwy wrth dŷ Micah, hwy a adnabuant lais y gwr ieuangc y Lefiad: ac a droisant yno, ac a ddywedasant wrtho, Pwy a'th ddug di yma? a pheth yr ydwyt ti yn ei wneuthur *yma?* a pheth *sydd* i ti yma?

4 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Fel hyn ac fel hyn y gwnaeth Micah i mi; ac efe a'm cyflogodd i, a'i offeiriad ef ydwyf fi.

5 A hwy a ddywedasant wrtho ef, Ymgynghora, attolwg, â Duw, fel y gwypom a lwydda ein ffordd yr ydym ni yn rhodio arni.

6 A'r offeiriad a ddywedodd wrthynt, Ewch mewn heddwch: ger bron yr Arglwydd *y mae* eich ffordd chwi, yr hon a gerddwch.

7 ¶ Yna y pumwr a aethant ymaith, ac a ddaethant i [c] Laïs; ac a welsant y bobl *oedd* ynddi [d] yn trigo mewn diogelwch, yn ol arfer y Sidoniaid, yn llonydd ac yn ddïofal; ac nid *oedd* † swyddwr yn y wlad, yr hwn a allai eu gyrru *hwynt* i gywilydd mewn dim: a phell *oeddynt* oddi wrth y Sidoniaid, ac heb negesau rhyngddynt â neb.

[c] Jos. 19. 47, *Lesem.*
[d] Adn. 27, 28.
† Heb. *meddiannydd, neu, etifedd gwaharddiad.*

8 A hwy a ddaethant at eu brodyr i Sorah ac Estaol. A'u brodyr a ddywedasant wrthynt, Beth *a ddywedwch* chwi?

9 Hwythau a ddywedasant, Cyfodwch, ac awn i fynu arnynt: canys gwelsom y wlad; ac wele, da iawn *yw* hi. Ai tewi 'r *ydych* chwi? na ddïogwch fyned, i ddyfod i mewn i feddiannu 'r wlad.

10 Pan eloch, chwi a ddeuwch at bobl ddïofal, a gwlad eang: canys Duw a'i rhoddodd hi yn eich llaw chwi: *sef* lle nid *oes* ynddo eisiau dim a'r *y sydd* ar y ddaear.

11 ¶ Ac fe aeth oddi yno, o dylwyth y Daniaid, o Sorah ac o Estaol, chwe channwr, wedi ymwregysu ag arfau rhyfel.

12 A hwy a aethant i fynu, ac a wersyllasant yn Ciriath-jearim, yn Judah: am hynny y galwasant y fan honno [e] Mahaneh Dan, hyd y dydd hwn: wele, *y mae* o'r tu ol i Ciriath-jearim.

[e] Pen. 13. 25.

13 A hwy a aethant oddi yno i fynydd Ephraim, ac a ddaethant hyd dŷ Micah.

14 ¶ A'r pumwr, y rhai a aethent i chwilio gwlad Laïs, a lefarasant, ac a ddywedasant wrth eu brodyr, Oni wyddoch chwi fod yn y tai hyn ephod a theraphim, a delw gerfiedig, a thoddedig? gan hynny ystyriwch yn awr beth a wneloch.

15 A hwy a droisant tu ag yno; ac a ddaethant hyd dŷ y gwr ieuangc y Lefiad, i dŷ Micah; ac a ‡ gyfarchasant well iddo.

‡ Heb. *ymofynasant ag ef am heddwch.*

16 A'r chwe channwr, y rhai oedd wedi eu gwregysu ag arfau rhyfel, oedd yn sefyll *wrth* ddrws y porth, *sef* y rhai *oedd* o feibion Dan.

17 A'r pumwr, y rhai a aethent i chwilio 'r wlad, a esgynasant, *ac* a aethant i mewn yno; *ac* a ddygasant ymaith y ddelw gerfiedig, a'r ephod, a'r teraphim, a'r ddelw doddedig: a'r offeiriad oedd yn sefyll wrth ddrws y porth, gyd â'r chwe channwr *oedd* wedi ymwregysu ag arfau rhyfel.

18 A'r rhai hyn a aethant i dŷ Micah, ac a ddygasant ymaith y ddelw gerfiedig, yr ephod, a'r teraphim, a'r ddelw doddedig. Yna 'r offeiriad a ddywedodd wrthynt, Beth yr ydych chwi yn ei wneuthur?

19 Hwythau a ddywedasant wrtho, Taw sôn; gosod dy law ar dy safn, a thyred gyd â ni, a bydd i ni yn dad ac yn offeiriad: ai gwell i ti fod yn offeiriad i dŷ un gwr, na'th fod yn offeiriad i lwyth ac i deulu yn Israel?

20 A da fu gan galon yr offeiriad; ac efe a gymmerth yr ephod, a'r teraphim, a'r ddelw gerfiedig, ac a aeth ym mysg y bobl.

21 A hwy a droisant, ac a aethant ymaith; ac a osodasant y plant, a'r anifeiliaid, a'r clud, o'u blaen.

22 ¶ *A* phan oeddynt hwy ennyd oddi wrth dŷ Micah, y gwŷr *oedd* yn y tai wrth dŷ Micah a ymgasglasant, ac a erlidiasant feibion Dan.

23 A hwy a waeddasant ar feibion Dan. Hwythau a droisant eu hwynebau, ac a ddywedasant wrth Micah, Beth *a ddarfu* i ti, pan wyt § yn dyfod â'r fath fintai?

§ Heb. *wedi ymgasglu ynghyd.*

24 Yntau a ddywedodd, Fy nuwiau, y rhai a wneuthum i, a ddygasoch chwi ymaith, a'r offeiriad, ac a aethoch i ffordd: a pheth *sydd* gennyf fi mwyach? a pha beth *yw* hyn a ddywedwch wrthyf, Beth *a ddarfu* i ti?

25 A meibion Dan a ddywedasant wrtho, Na ad glywed dy lef yn ein mysg ni; rhag i wŷr || digllon ruthro arnat ti, a cholli o honot dy einioes, ac einioes dy deulu.

|| Heb. *chwerw eu henaid.*

26 A meibion Dan a aethant i'w ffordd. A phan welodd Micah eu *bod* hwy yn gryfach nag ef, efe a drodd, ac a ddychwelodd i'w dŷ.

27 A hwy a gymmerasant *y pethau* a wnaethai Micah, a'r offeiriad oedd ganddo ef, ac a ddaethant i Laïs, at [f] bobl lonydd a dïofal; ac a'u tarawsant hwy â min y cleddyf, ac a losgasant y ddinas â thân.

[f] Adn. 7, 10.

28 Ac nid *oedd* waredydd; canys pell *oedd* hi oddi wrth Sidon, ac nid *oedd* negesau rhyngddynt â neb; hefyd *yr oedd* hi yn y dyffryn *oedd* wrth Beth-rehob: a hwy a adeiladasant ddinas, ac a drigasant ynddi.

29 A [g] hwy a alwasant enw 'r ddinas [h] Dan, yn ol enw Dan eu tad, yr hwn a anesid i Israel: er hynny Laïs *oedd* enw 'r ddinas ar y cyntaf.

[g] Jos. 19. 47.
[h] Gen. 14. 14. Pen. 20. 1.

30 ¶ A meibion Dan a osodasant i fynu iddynt y ddelw gerfiedig: a Jonathan mab Gerson, mab Manasseh, efe a'i feibion, fuant offeiriaid i lwyth Dan [i] hyd ddydd caethgludiad y wlad.

[i] Pen. 13. 1. 1 Sam. 4. 2, 3.

31 A hwy a osodasant i fynu iddynt y ddelw gerfiedig a wnaethai Micah, [k] yr holl ddyddiau y bu tŷ Dduw yn Siloh.

[k] Jos. 18. 1 Pen. 19. 8. a 21. 12.

## PEN. XIX.

1 *Lefiad yn myned i Bethlehem i gyrchu ei wraig adref.* 16 *Hen wr yn ei groesawu ef i'w dŷ yn Gibeah.* 22 *Y Gibeoniaid yn gwneuthur cam â'i orddercb ef, fel y bu hi farw.* 29 *Yntau yn ei rhannu hi yn ddeuddeg darn, i'w danfon at y deuddeg llwyth.*

Mawrth 26. P.

AC yn y dyddiau hynny, [a] pan nad *oedd* frenhin yn Israel, yr oedd rhyw Lefiad yn aros yn ystlysau mynydd Ephraim, ac efe a gymmerodd iddo orderchwraig o Bethlehem-judah.

Cylch 1406.
[a] Pen. 17. 6. a 18. 1. a 21. 25.

2 A'i orderchwraig a butteiniodd yn ei erbyn ef, ac a aeth ymaith oddi wrtho ef i dŷ ei thad, i Bethlehem-judah; ac yno y bu hi † bedwar mis o ddyddiau.

† Neu, *flwyddyn a phedwar mis.*

3 A'i gwr hi a gyfododd, ac a aeth ar ei hol, i ddywedyd yn ‡ dêg wrthi hi, *ac* i'w throi adref; a'i langc *oedd* gyd ag ef, a chwpl o asynod. A hi a'i dug ef i mewn i dŷ ei thad: a phan welodd tad y llangces ef, bu lawen ganddo gyfarfod ag ef.

‡ Heb. *wrth fodd ei chalon hi.*

4 A'i chwegrwn ef, tad y llangces, a'i
daliodd ef *yno*; ac efe a dariodd gyd ag ef
dridiau. Felly bwyttasant ac yfasant, a llet-
tŷasant yno.
5 A'r pedwerydd dydd y cyfodasant yn
fore; yntau a gyfododd i fyned ymaith. A
thad y llangces a ddywedodd wrth ei ddaw,
Nertha dy galon â thammaid o fara, ac wedi
hynny ewch ymaith.
6 A hwy a eisteddasant, ac a fwyttasant
ill dau ynghŷd, ac a yfasant. A thad y
llangces a ddywedodd wrth y gwr, Bydd
foddlon, attolwg, ac aros dros nos, a lla-
wenyched dy galon.
7 A phan gyfododd y gwr i fyned ym-
aith, ei chwegrwn a fu daer arno: am hynny
efe a drodd ac a lettŷodd yno.
8 Ac efe a gyfododd yn fore y pummed
dydd i fyned ymaith. A thad y llangces a
ddywedodd, Cysura dy galon, attolwg. A
† Heb. *nes gostwng y dydd.* hwy a drigasant † hyd brydnawn, ac a
fwyttasant ill dau.
9 A phan gyfododd y gwr i fyned ym-
aith, efe a'i ordderch, a'i langc; ei chwegr-
wn, tad y llangces, a ddywedodd wrtho,
Wele, yn awr, y dydd a laesodd i hwyrhâu;
‡ Heb. *amser lettŷa ydyw.* arhoswch dros nos, attolwg: wele ‡ 'r haul
yn machludo; trig yma, fel y llawenycho dy
galon; a chodwch yn fore y foru i'ch taith,
fel yr elych i'th babell.
10 A'r gwr ni fynnai aros dros nos; eithr
cyfododd, ac a aeth ymaith: a daeth hyd ar
gyfer Jebus (hon *yw* Jerusalem) a chyd ag
ef gwpl o asynod llwythog, a'i ordderch-
wraig gyd ag ef.
11 A phan *oeddynt* hwy wrth Jebus, yr
oedd y dydd ar ddarfod; a'r llangc a ddy-
wedodd wrth ei feistr, Tyred, attolwg, trown
i ddinas hon y Jebusiaid, a llettŷwn ynddi.
12 A'i feistr a ddywedodd wrtho, Ni
thrown ni i ddinas estron nid *yw* o feibion
Israel; eithr nyni a awn hyd Gibeah.
13 Ac efe a ddywedodd wrth ei langc,
Tyred, a nesâwn i un o'r lleoedd hyn, i
lettŷa dros nos, yn Gibeah, neu Ramah.
14 Felly y cerddasant, ac yr aethant: a'r
haul a fachludodd arnynt wrth Gibeah *eiddo*
Benjamin.
15 A hwy a droisant yno, i fyned i mewn
i lettŷa i Gibeah. Ac efe a ddaeth i mewn,
ac a eisteddodd yn heol y ddinas: canys nid
*oedd* neb a'u cymmerai hwynt i'*w* dŷ i lettŷa.
16 ¶ Ac wele, wr hen yn dyfod o'i waith
o'r maes yn yr hwyr; a'r gwr *oedd* o fynydd
Ephraim, ond ei fod ef yn ymdaith yn
Gibeah; a gwŷr y lle hwnnw *oedd* feibion
Jemini.
17 Ac efe a ddyrchafodd ei lygaid, ac a
ganfu wr yn ymdaith yn heol y ddinas: a'r
hen wr a ddywedodd, I ba le yr ai di? ac o
ba le y daethost?
18 Yntau a ddywedodd wrtho, Tramwyo '*r*
*ydym* ni o Bethlehem-Judah, i ystlys my-
nydd Ephraim, o'r lle y'm *henyw*: a mi a
euthum hyd Bethlehem-Judah, a myned *yr*
*ydwyf* i dŷ 'r ARGLWYDD; ac nid *oes* neb
§ Heb. *casgl.* a'm § derbyn i dŷ.
19 Y mae *gennym ni* wellt ac ebran hefyd
i'n hasynod; a bara hefyd a gwin i mi ac
i'th law-forwyn, ac i'r llangc *sydd* gyd â'th
weision: nid *oes* eisiau dim.
20 A'r hen wr a ddywedodd, Tangnefedd
[b] Gen. 19. 2. i ti: bydded dy holl eisiau arnaf fi; [b] yn
unig na lettŷa yn yr heol.
21 Felly efe a'i dug ef i mewn i'w dŷ,
ac a borthodd yr asynod: a hwy a ol-
chasant eu traed, ac a fwyttasant ac a
yfasant.
22 ¶ A phan oeddynt hwy yn llawen-
hâu eu calon, wele, [c] gwŷr y ddinas, rhai [c] Gen. 19. 4.
o [d] feibion Belial, a amgylchynasant y tŷ, a
gurasant y drws, ac a ddywedasant wrth [d] Hos. 9. 9. a 10. 9.
berchen y tŷ, *sef* yr hen wr, gan ddywedyd,
Dwg allan y gwr a ddaeth i mewn i'th dŷ,
fel yr adnabyddom ef.
23 A'r [e] gwr, perchen y tŷ, a aeth allan [e] Gen. 19. 6.
attynt, ac a ddywedodd wrthynt, Nag ê, fy
mrodyr, *nag ê*, attolwg, na wnewch mor
ddrygionus: gan i'r gwr hwn ddyfod i'm tŷ
i, na wnewch yr ysgelerder hyn.
24 Wele, fy merch, yr hon *sydd* forwyn,
a'i ordderch yntau; dygaf hwynt allan yn
awr, a darostyngwch hwynt, a gwnewch
iddynt yr hyn fyddo da yn eich golwg: ond
i'r gwr hwn na wnewch || mor ysgeler. || Heb. *beth mor ynfyd.*
25 Ond ni wrandawai'r gwŷr arno: am
hynny y gwr a ymaflodd yn ei ordderch,
ac a'i dug hi allan attynt hwy. A hwy a'i
hadnabuant hi, ac a wnaethant *gam* â hi'r
holl nos hyd y bore: a phan gyfododd y
wawr, hwy a'i gollyngasant hi ymaith.
26 Yna'r wraig a ddaeth, pan ymddang-
osodd y bore, ac a syrthiodd wrth ddrws
tŷ'r gwr *yr oedd* ei harglwydd ynddo, hyd
oleuni *y dydd*.
27 A'i harglwydd a gyfododd y bore, ac
a agorodd ddrysau'r tŷ, ac a aeth allan i
fyned i'w daith: ac wele, ei ordderch-
wraig ef wedi cwympo wrth ddrws y tŷ, a'i
dwy law ar y † trothwy. † *rhiniog.*
28 Ac efe a ddywedodd wrthi, Cyfod,
fel yr elom ymaith. Ond nid oedd yn at-
teb. Yna efe a'i cymmerth hi ar yr asyn;
a'r gwr a gyfododd, ac a aeth ymaith i'w
fangre.
29 ¶ A phan ddaeth i'w dŷ, efe a gym-
merth gyllell, ac a ymaflodd yn ei ordderch, [f] Edrych
ac [f] a'i darniodd hi, *ynghŷd* â'i hesgyrn, yn 1 Sam. 11. 7.
ddeuddeg darn, ac a'i hanfonodd hi i holl
derfynau Israel.
30 A phawb a'r a welodd *hynny*, a ddy-
wedodd, Ni wnaethpwyd ac ni welwyd y
fath beth, er y dydd y daeth meibion Israel
o wlad yr Aipht, hyd y dydd hwn: ystyri-
wch ar hynny, ymgynghorwch, a thraeth-
wch *eich meddwl*.

## PEN. XX.

1 *Y Lefiad, mewn cymmanfa gyffredinol, yn* Mawrth 27. B.
*dangos ei gam ar gyhoedd.* 8 *Barn y gym-*
*manfa.* 12 *Gwŷr Benjamin, wedi eu dyfyn,*
*yn ymgasglu yn erbyn yr Israeliaid.* 18 *Yr*
*Israeliaid mewn dwy gâd yn colli deugain*
*mil.* 26 *Hwythau trwy ddichell yn difetha*
*holl wŷr Benjamin onid chwe chant.*

YNA holl feibion Israel a aethant allan; Cylch 1406.
a'r gynnulleidfa a ymgasglodd ynghŷd
fel un dyn, o [a] Ddan hyd Beerseba, a gwlad [a] Pen. 18. 29.
Gilead, at yr ARGLWYDD, i [b] Mispah.
2 A phennaethiaid yr holl bobl, *o* holl 1 Sam. 3. 20.
lwythau Israel, a safasant ynghynnulleidfa 2 Sam. 3. 10. a 24. 2.
pobl DDUW; *sef* pedwar can mil o wŷr [b] 1 Sam. 7. 5. a 10. 17.
traed yn tynnu cleddyf.
3 (A meibion Benjamin a glywsant
fyned o feibion Israel i Mispah) Yna meib-
ion Israel a ddywedasant, Dywedwch, pa
fodd y bu'r drygioni hyn?
4 A'r gwr y Lefiad, gwr y wraig a ladd-
esid, a attebodd ac a ddywedodd, I Gibeah
*eiddo* Benjamin y deuthum i, mi a'm gor-
dderch i lettŷa.
5 A gwŷr Gibeah a gyfodasant i'm her-

byn, ac a amgylchynasant y tŷ yn fy erbyn
liw nos. Ac a amcanasant fy lladd i; a
† Heb. *darostyngasant.* † threisiasant fy ngordderch, fel y bu hi
farw.
6 A mi a ymaflais yn fy ngordderch, ac
a'i derniais hi, ac a'i hanfonais hi trwy holl
c Jos. 7. 15. wlad etifeddiaeth Israel: canys c gwnaethant
ffieidd-dra ac ynfydrwydd yn Israel.
7 Wele, meibion Israel *ydych* chwi oll;
moeswch rhyngoch air a chyngor yma.
8 ¶ A'r holl bobl a gyfododd megis un
gwr, gan ddywedyd, Nac eled neb *o honom*
i'w babell, ac na thröed neb *o honom* i'w dŷ.
9 Ond yn awr, hyn *yw*'r peth a wnawn
ni i Gibeah: *Nyni a awn i fynu* i'w herbyn
wrth goelbren;
10 A ni a gymmerwn ddengwr o'r cant
trwy holl lwythau Israel, a chant o'r mil, a
mil o'r deng mil, i ddwyn lluniaeth i'r bobl;
i wneuthur (pan ddelont i Gibeah Benjamin)
yn ol yr holl ffieidd-dra a wnaethant
hwy yn Israel.
11 Felly'r ymgasglodd holl wŷr Israel yn
‡ Heb. *yn gyfeillion.* erbyn y ddinas ‡ yn gyttûn fel un gwr.
12 ¶ A llwythau Israel a anfonasant wŷr
trwy holl lwythau Benjamin, gan ddywedyd,
Beth *yw*'r drygioni yma a wnaethpwyd yn
eich mysg chwi?
d Deut. 13. 13. Pen. 19. 22. 13 Ac yn awr rhoddwch y gwŷr, d meibion
Belial, y rhai *sydd* yn Gibeah, fel y lladdom
hwynt, ac y dileom ddrygioni o Israel.
Ond ni wrandawai meibion Benjamin ar lais
eu brodyr meibion Israel:
14 Eithr meibion Benjamin a ymgynnullasant
o'r dinasoedd i Gibeah, i fyned allan
i ryfel yn erbyn meibion Israel.
15 A chyfrifwyd meibion Benjamin y
dydd hwnnw, o'r dinasoedd, yn chwe mil
ar hugain o wŷr yn tynnu cleddyf, heb law
trigolion Gibeah, y rhai a gyfrifwyd yn saith
gant o wŷr etholedig.
16 O'r holl bobl hyn *yr oedd* saith gant o
e Pen. 3. 15. 1 Chron. 12. 2. wŷr etholedig e yn chwithig; pob un o
honynt a ergydiai â charreg at y blewyn,
heb fethu.
17 Gwŷr Israel hefyd a gyfrifwyd, heb
law Benjamin, yn bedwar can mil yn tynnu
cleddyf; pawb o honynt yn rhyfelwŷr.
18 ¶ A meibion Israel a gyfodasant, ac a
f Pen. 1. 1. aethant i fynu i dŷ Duw, ac f a ymgynghorasant
â Duw, ac a ddywedasant, Pwy
o honom ni a â i fynu yn gyntaf i'r gâd yn
erbyn meibion Benjamin? A dywedodd yr
Arglwydd, Judah *a â* yn gyntaf.
19 A meibion Israel a gyfodasant y bore,
ac a wersyllasant yn erbyn Gibeah.
20 A gwŷr Israel a aethant allan i ryfel
yn erbyn Benjamin; a gwŷr Israel a ymosodasant
i ymladd i'w herbyn hwy wrth
Gibeah.
21 A meibion Benjamin a ddaethant allan
o Gibeah, ac a ddifethasant o Israel y dwthwn
hwnnw ddwy fil ar hugain o wŷr hyd
lawr.
22 A'r bobl gwŷr Israel a ymgryfhasant,
ac a ymosodasant drachefn i ymladd, yn y
lle yr ymosodasent ynddo y dydd cyntaf.
23 (A meibion Israel a aethent i fynu, ac
a wylasent ger bron yr Arglwydd hyd
yr hwyr; ymgynghorasent hefyd â'r Arglwydd,
gan ddywedyd, A af fi drachefn
i ryfel yn erbyn meibion Benjamin fy
mrawd? A dywedasai'r Arglwydd, Dos i
fynu yn ei erbyn ef)
24 A meibion Israel a nesasant yn erbyn
meibion Benjamin yr ail dydd.
25 A Benjamin a aeth allan o Gibeah i'w
herbyn hwythau yr ail dydd; a hwy a ddifethasant
o feibion Israel eilwaith dair mil
ar bymtheg o wŷr hyd lawr: y rhai hyn oll
oedd yn tynnu cleddyf.
26 ¶ Yna holl feibion Israel a'r holl bobl
a aethant i fynu ac a ddaethant i dŷ Duw,
ac a wylasant, ac a arhosasant yno ger bron
yr Arglwydd, ac a ymprydiasant y dwthwn
hwnnw hyd yr hwyr, ac a offrymmasant
boeth-offrymmau ac offrymmau hedd ger
bron yr Arglwydd.
27 A meibion Israel a ymgynghorasant â'r
Arglwydd (canys yno'r *oedd* arch cyfammod
Duw yn y dyddiau hynny;
28 A Phinees mab Eleazar, mab Aaron,
oedd yn sefyll ger ei bron hi yn y dyddiau
hynny) gan ddywedyd, A chwanegaf fi
mwyach fyned allan i ryfel yn erbyn meibion
Benjamin fy mrawd, neu a beidiaf fi? A
dywedodd yr Arglwydd, Ewch i fynu;
canys y foru y rhoddaf ef yn dy law di.
29 Ac Israel g a osododd gynllwynwŷr o g Felly Jos. 8. 4.
amgylch Gibeah.
30 A meibion Israel a aethant i fynu yn
erbyn meibion Benjamin y trydydd dydd,
ac a ymosodasant wrth Gibeah, fel cynt.
31 A meibion Benjamin a aethant allan
yn erbyn y bobl; *a* thynnwyd hwynt oddi
wrth y ddinas: a hwy a ddechreuasant
daro *rhai* o'r bobl yn archolledig, fel cynt,
yn y prif-ffyrdd, o'r rhai y mae'r naill yn
myned i fynu i § dŷ Duw, a'r llall i Gi- § Neu, *Bethel.*
beah yn y maes, ynghylch dengwr ar hugain
o Israel.
32 A meibion Benjamin a ddywedasant,
Cwympwyd hwynt o'n blaen ni, fel ar y
cyntaf. Ond meibion Israel a ddywedasant,
Ffown, fel y tynnom hwynt oddi wrth y
ddinas, i'r prif-ffyrdd.
33 A holl wŷr Israel a gyfodasant o'u lle,
ac a fyddinasant yn Baal-tamar: a'r *sawl* a
oedd *o* Israel yn cynllwyn, a ddaeth allan
o'u mangre, *sef* o weirgloddiau Gibeah.
34 A daeth yn erbyn Gibeah ddeng mil
o wŷr etholedig o holl Israel; a'r gâd a fu
dost: ond ni wyddent *fod* drwg yn agos
attynt.
35 A'r Arglwydd a darawodd Benjamin
o flaen Israel: a difethodd meibion Israel
o'r Benjaminiaid, y dwthwn hwnnw,
bùm mil ar hugain a channwr; a'r rhai hyn
oll yn tynnu cleddyf.
36 Felly meibion Benjamin a welsant mai
eu lladd yr oeddid: canys gwŷr Israel a
roddasant le i'r Benjaminiaid; o herwydd
hyderu yr oeddynt ar y cynllwynwŷr, y rhai
a osodasent yn ymyl Gibeah.
37 A'r cynllwynwŷr a frysiasant, ac a
ruthrasant ar Gibeah; a'r cynllwynwŷr a
‖ udganasant yn hirllaes, ac a darawsant yr ‖ Neu, *aethant rhagddynt.*
holl ddinas â min y cleddyf.
38 Ac yr oedd † amser nodedig rhwng
gwŷr Israel a'r cynllwynwŷr; *sef* peri o † *arwydd.*
honynt i ‡ fflam fawr *a* mŵg ddyrchafu o'r ‡ Heb. *dyrchafiad.*
ddinas.
39 A phan drodd gwŷr Israel *eu cefnau*
yn y rhyfel, Benjamin a ddechreuodd daro
§ yn archolledig o wŷr Israel ynghylch § Neu, *yr.*
dengwr ar hugain: canys dywedasant, Dïau
gan daro eu taro hwynt o'n blaen ni, fel yn
y cyntaf.
40 A phan ddechreuodd ‖ y fflam ddyr- ‖ Heb. *holl ysiad.*
chafu o'r ddinas â cholofn o fŵg, Benjamin
a edrychodd yn ei ol; ac wele, fflam y ddinas
yn dyrchafu i'r nefoedd.

41 Yna gwŷr Israel a droisant drachefn;
a gwŷr Benjamin a frawychasant: o he-
rwydd hwy a ganfuant fod drwg *wedi* † dy-
fod arnynt.
† Heb. *cyfarfodd â hwynt.*
42 Am hynny hwy a droisant o flaen
gwŷr Israel, tu a ffordd yr anialwch; a'r
gâd a'u goddiweddodd hwynt: a'r rhai *a*
*ddaethai* o'r dinasoedd, yr oeddynt yn eu
difetha yn eu canol.
43 *Felly* 'r amgylchynasant y Benjamin-
iaid; erlidiasant hwynt, a sathrasant hwynt
‡ yn hawdd hyd ynghyfer Gibeah, tu a cho-
diad haul.
‡ Neu, *o Menuchah.*
44 A lladdwyd o Benjamin dair mil ar
bymtheg o wŷr: y rhai hyn oll *oedd* wŷr
nerthol.
45 A hwy a droisant, ac a ffoisant tu a'r
anialwch i graig Rimmon. A'r *Israeliaid*
a loffasant o honynt ar hŷd y prif-ffyrdd,
bûm mil o wŷr: erlidiasant hefyd ar eu hol
hwynt hyd Gidom, ac a laddasant o honynt
ddwy fil o wŷr.
46 A'r rhai oll a gwympodd o Benjamin y
dwthwn hwnnw, oedd bûm mil ar hugain o
wŷr yn tynnu cleddyf: hwynt oll *oedd* wŷr
nerthol.
47 h Etto chwe channwr a droisant, ac a
ffoisant i'r anialwch i graig Rimmon, ac a
arhosasant ynghrâig Rimmon bedwar mis.
h Pen. 21. 13.
48 A gwŷr Israel a ddychwelasant ar
feibion Benjamin, ac a'u tarawsant hwy â
min y cleddyf, yn ddyn o *bob* dinas, ac yn
anifail, a pheth bynnag a gafwyd: yr holl
ddinasoedd hefyd a'r a gafwyd, a losgasant
hwy â thân.

## PEN. XXI.

Mawrth 27. P.

1 *Y bobl yn galaru am ddinystr Benjamin;*
*8 a thrwy ddifetha Jabes Gilead, yn cael*
*iddynt bedwar cant o wragedd: 16 ac yn*
*eu cynghori hwynt i osod ar y gwŷryfon*
*oedd yn dawnsio yn Siloh.*

Cylch 1406.

A Gwŷr Israel a dyngasent ym Mispah,
gan ddywedyd, Ni ddyry neb o honom
ei ferch i Benjaminiad yn wraig.
2 A daeth y bobl i dŷ Dduw, ac a arosasant
yno hyd yr hwyr ger bron Duw, ac a ddyr-
chafasant eu llef, ac a wylasant ag wylofain
mawr:
3 Ac a ddywedasant, O Arglwydd
Dduw Israel, pa ham y bu y peth hyn yn
Israel, fel y byddai heddyw un llwyth eisiau
yn Israel?
4 A thrannoeth y bobl a fore-godasant, ac
a adeiladasant yno allor, ac a offrymmasant
boeth-offrymmau ac offrymmau hedd.
5 A meibion Israel a ddywedasant, Pwy
o holl lwythau Israel ni ddaeth i fynu gyd
â'r gynnulleidfa at yr Arglwydd? ca-
nys llw mawr oedd yn erbyn yr hwn ni
ddelsai i fynu at yr Arglwydd i Mispah,
gan ddywedyd, Rhoddir ef i farwolaeth yn
ddiau.
6 A meibion Israel a edifarhasant o he-
rwydd Benjamin eu brawd: a dywedas-
ant, Torrwyd ymaith heddyw un llwyth o
Israel:
7 Beth a wnawn ni am wragedd i'r rhai
a adawyd, gan dyngu o honom ni i'r Ar-
glwydd, na roddem iddynt *yr un* o'n
merched ni yn wragedd?
8 ¶ Dywedasant hefyd, Pa un o lwythau
Israel ni ddaeth i fynu at yr Arglwydd
i Mispah? Ac wele, ni ddelsai neb o Jabes
Gilead i'r gwersyll, at y gynnulleidfa.
9 Canys y bobl a gyfrifwyd; ac wele, nid
*oedd* yno neb o drigolion Jabes Gilead.
10 A'r gynnulleidfa a anfonasant yno
ddeuddeng mil o wŷr grymusus; ac a
orchymynasant iddynt gan ddywedyd,
Ewch a tharewch breswylwŷr Jabes Gilead
â min y cleddyf, y gwragedd hefyd a'r
plant.
11 Dyma hefyd y peth a wnewch chwi:
a Difethwch bob gwrryw, a phob gwraig a
† orweddodd gyd â gwr.
a Num. 31. 17.
† Heb. *wybu orwedd.*
12 A hwy a gawsant ym mhlith trigolion
Jabes Gilead, bedwar cant o langcesau yn
wŷryfon, y rhai nid adnabuasent wr trwy
gyd-orwedd â gwr: a dygasant hwynt i'r
gwersyll i Siloh, yr hon *sydd* yngwlâd Ca-
naan.
13 A'r holl gynnulleidfa a anfonasant ‡ i
lefaru wrth feibion Benjamin, y rhai *oedd*
ynghrâig Rimmon, ac i gyhoeddi heddwch
iddynt.
‡ Heb. *ac a lefarasant.*
14 A'r Benjaminiaid a ddychwelasant yr
amser hwnnw; a hwy a roddasant iddynt
hwy y gwragedd a gadwasent yn fyw o
wragedd Jabes Gilead: ond ni chawsant hwy
ddigon felly.
15 A'r bobl a edifarhaodd dros Benja-
min, o herwydd i'r Arglwydd wneuthur
rhwygiad yn llwythau Israel.
16 ¶ Yna henuriaid y gynnulleidfa a ddy-
wedasant, Beth a wnawn ni am wragedd
i'r lleill, gan ddistrywio'r gwragedd o Ben-
jamin?
17 Dywedasant hefyd, *Rhaid yw bod* eti-
feddiaeth i'r rhai a ddïangodd o Benjamin,
fel na ddileer llwyth allan o Israel.
18 Ac ni allwn ni roddi iddynt wragedd
o'n merched ni: canys meibion Israel a
dyngasant, gan ddywedyd, Melldigedig
*fyddo*'r hwn a roddo wraig i Benjamin.
19 Yna y dywedasant, Wele, *y mae* gwyl
i'r Arglwydd § bob blwyddyn yn Siloh,
o du'r gogledd i Bethel, tu a chyfodiad
haul ‖ i'r brif-ffordd y sydd yn myned i
fynu o Bethel i Sichem, ac o du'r dehau i
Libanus.
§ Heb. *o flwyddyn i flwyddyn.*
‖ Neu, *ar y.*
20 Am hynny y gorchymynasant hwy
i feibion Benjamin, gan ddywedyd, Ewch
a chynllwynwch yn y gwinllannoedd:
21 Edrychwch hefyd; ac wele, os merch-
ed Siloh a ddaw allan b i ddawnsio mewn
dawnsiau; yna deuwch chwithau allan o'r
gwinllannoedd, a chippiwch i chwi bob un
ei wraig o ferched Siloh, ac ewch i wlad
Benjamin.
b Edrych Exod. 15. 20.
22 A phan ddelo eu tadau neu eu brodyr
hwynt i achwyn attom ni, yna y dywedwn
wrthynt, Byddwch dda iddynt er ein mwyn
ni; oblegid na chadwasom i bob un ei
wraig yn y rhyfel: o achos na roddasoch
chwi *hwynt* iddynt y pryd hyn, *ni* byddwch
chwi euog.
23 A meibion Benjamin a wnaethant felly;
a chymmerasant wragedd yn ol eu rhifedi,
o'r rhai a gippiasent, ac a oeddynt yn dawn-
sio: a hwy a aethant ymaith, a dychwel-
asant i'w hetifeddiaeth, ac a adgyweiriasant
y dinasoedd, ac a drigasant ynddynt.
24 A meibion Israel a ymadawsant oddi
yno y pryd hynny, bob un at ei lwyth, ac
at ei deulu; ac a aethant oddi yno bob un
i'w etifeddiaeth.
25 c Yn y dyddiau hynny nid *oedd* bren-
hin yn Israel: pob un a wnai'r hyn oedd
uniawn yn ei olwg ei hun.
c Pen. 17. 6. a 18. 1. a 19. 1.

PEN. I.

Mawrth 28. B.

1 *Elimelech wedi ei yrru gan newyn i Moab, yn marw yno.* 4 *Mahlon a Chilion, wedi priodi gwragedd o Moab, yn marw hefyd.* 6 *Naomi, wrth ddychwelyd adref,* 8 *yn ceisio gan ei dwy waudd na ddeuent gyd â hi.* 14 *Orpah yn ei gadael hi; a Ruth yn ddianwadal yn ei dilyn hi.* 19 *Hwynt ill dwyoedd yn dyfod i Bethlehem, ac yn cael yno groesaw.*

Cyn Crist cylch 1312.

ABu, yn y dyddiau yr oedd y brawdwŷr yn barnu, fod a newyn yn y wlad: a gwr o Bethlehem-Judah a aeth i ymdeithio yngwlàd Moab, efe a'i wraig, a'i ddau fab.

a Edrych 2 Bren. 8. 1.

2 Ac enw y gwr *oedd* Elimelech, ac enw ei wraig Naomi, ac enw ei ddau fab Mahlon a Chilion, b Ephrateaid o Bethlehem-Judah. A hwy a ddaethant i wlad Moab, ac a fuant yno.

b Edrych Gen. 35. 19.

3 Ac Elimelech gwr Naomi a fu farw; a hithau a'i dau fab a adawyd.

4 A hwy a gymmerasant iddynt wragedd o'r Moabeesau; enw y naill *oedd* Orpah, ac enw y llall, Ruth. A thrigasant yno ynghylch deng mlynedd.

5 A Mahlon a Chilion a fuant feirw hefyd ill dau; a'r wraig a adawyd *yn amddifad* o'i dau fab, ac o'i gwr.

6 ¶ A hi a gyfododd a'i merched ynghyfraith, i ddychwelyd o wlad Moab: canys hi a glywsai yngwlâd Moab, ddarfod i'r Arglwydd ymweled â'i bobl, gan roddi iddynt fara.

7 A hi a aeth o'r lle yr oedd hi ynddo, a'i dwy waudd gyd â hi: a hwy a aethant i ffordd i ddychwelyd i wlad Judah.

8 A Naomi a ddywedodd wrth ei dwy waudd, c Ewch, dychwelwch bob un i dŷ ei mam: gwneled yr Arglwydd drugaredd â chwi, fel y gwnaethoch chwi â'r meirw, ac â minnau.

c Edrych Jos. 24. 15.

9 Yr Arglwydd a ganiattao i chwi gael gorphwysdra bob un yn nhŷ ei gwr. Yna y cusanodd hi hwynt: a hwy a ddyrchafasant eu llef, ac a wylasant.

10 A hwy a ddywedasant wrthi, Dïau y dychwelwn ni gyd â thi at dy bobl di.

11 A dywedodd Naomi, Dychwelwch, fy merched: i ba beth y deuwch gyd â mi? *a oes* gennyf fi feibion etto yn fy nghroth, d i fod yn wŷr i chwi?

d Deut. 25. 5.

12 Dychwelwch, fy merched, ewch *ymaith:* canys yr ydwyf fi yn rhy hen i brïodi gwr. Pe dywedwn, Y mae gennyf obaith, a bod heno gyd â gwr, ac ymddŵyn meibion hefyd;

13 A arhosech chwi am danynt hwy, hyd oni chynnyddent hwy? a † ymarhosech chwi am danynt hwy, heb ŵra? Nag ê, fy merched: canys *y mae* mawr ‡ dristwch i mi o'ch plegid chwi, am e i law'r Arglwydd fyned i'm herbyn.

† Heb. *obeithiech.*
‡ Heb. *chwerwder.*
e Job 19. 21.

14 A hwy a ddyrchafasant eu llef, ac a wylasant eilwaith: ac Orpah a gusanodd ei chwegr; ond Ruth a lynodd wrthi hi.

15 A dywedodd *Naomi,* Wele, dy chwaer ynghyfraith a ddychwelodd at ei phobl, ac at ei duwiau: f dychwel dithau ar ol dy chwaer ynghyfraith.

f Edrych Jos. 24. 15, 19. 2 Bren. 2. 2. Luc 24. 28.

16 A Ruth a ddywedodd, § Nac erfyn arnaf fi ymadaw â thi, i gilio oddi ar dy ol di: canys pa le bynnag yr elych di, yr af finnau; ac ym mha le bynnag y lletty̆ech di, y lletty̆af finnau: dy bobl di *fydd* fy mhobl i, a'th Dduw di fy Nuw innau:

§ Neu, *na fydd i'm herbyn.*

17 Lle y byddych di marw, y byddaf finnau farw, ac yno y'm cleddir: g fel hyn y gwnelo'r Arglwydd i mi, ac fel hyn y 'chwanego, *os dim* ond angau a wna ysgariaeth rhyngof fi a thithau.

g 1 Sam. 3. 17. a 25. 22. 2 Sam. 19. 13. 2 Bren. 6. 31.

18 Pan welodd hi ei bod hi wedi ‖ ymroddi i fyned gyd â hi, yna hi a beidiodd a dywedyd wrthi hi.

‖ Heb. *ymgryfhau.*

19 ¶ Felly hwynt ill dwy a aethant, nes iddynt ddyfod i Bethlehem. A phan ddaethant i Bethlehem, yr holl ddinas a gyffrôdd o'i herwydd hwynt; a dywedasant, Ai hon *yw* Naomi?

20 A hi a ddywedodd wrthynt hwy, Na elwch fi † Naomi; gelwch fi ‡ Mara: canys yr Holl-alluog a wnaeth yn chwerw iawn â mi.

† *Prydferth.*
‡ *Chwerw.*

21 Myfi a euthum allan yn gyflawn, a'r Arglwydd a'm dug i eilwaith yn wag: pa ham y gelwch chwi fi Naomi, gan i'r Arglwydd § fy narostwng, ac i'r Holl-alluog fy nrygu?

§ *dystiolaethu i'm herbyn.*

22 Felly y dychwelodd Naomi, a Ruth y Moabees ei gwaudd gyd â hi, yr hon a ddychwelodd o wlad Moab: a hwy a ddaethant i Bethlehem h yn nechreu cynhauaf yr heiddiau.

h Exod. 9. 31, 32. Pen. 2. 23.

PEN. II.

Mawrth 28. P.

1 *Ruth yn lloffa ym meusydd Boaz.* 4 *Boaz yn cymmeryd cydnabod arni,* 8 *ac yn dangos iddi garedigrwydd mawr;* 18 *a hithau yn dwyn at Naomi yr hyn a gawsai.*

Cylch 1312.

AC i wr Naomi'r *ydoedd* câr, o wr cadarn nerthol, o dylwyth Elimelech, a'i enw † Boaz.

† A elwir *Booz,* Mat. 1. 5.

2 A Ruth y Moabees a ddywedodd wrth Naomi, Gâd i mi fyned yn awr i'r maes, a lloffa tywysenau ar ol *yr hwn y* caffwyf ffafr yn ei olwg. Hithau a ddywedodd wrthi, Dos, fy merch.

3 A hi a aeth, ac a ddaeth, ac a loffodd yn y maes ar ol y medelwŷr: a digwyddodd wrth ddamwain *fod* y rhan honno o'r maes yn eiddo Boaz, yr hwn *oedd* o dylwyth Elimelech.

4 ¶ Ac wele, Boaz a ddaeth o Bethlehem, ac a ddywedodd wrth y medelwŷr, Yr Arglwydd *a fyddo* gyd â chwi. Hwythau a ddywedasant wrtho ef, Yr Arglwydd a'th fendithio.

5 Yna y dywedodd Boaz wrth ei was yr hwn oedd yn sefyll yn ymyl y medelwŷr, Pwy *biau*'r llangces hon?

6 A'r gwas yr hwn oedd yn sefyll wrth y medelwŷr a attebodd, ac a ddywedodd, Y llangces o Moab *ydyw* hi, yr hon a ddychwelodd gyd â Naomi o wlad Moab:

7 A hi a ddywedodd, Attolwg yr ydwyf gael lloffa, a chasglu ym mysg yr ysgubau ar ol y medelwŷr: a hi a ddaeth, ac a arhosodd er y bore hyd yr awr hon, oddieithr aros o honi hi ychydig yn tŷ.

8 Yna y dywedodd Boaz wrth Ruth, Oni chlywi di, fy merch? Na ddos i loffa i faes arall, ac na cherdda oddi yma; eithr aros yma gyd â'm llangcesau i.

9 *Bydded* dy lygaid ar y maes y byddont hwy yn ei fedi; a dos ar eu hol hwynt: oni orchymynais i'r llangciau, na chyffyrddent â thi? A phan sychedech, dos at y llestri, ac ŷf o'r hwn a ollyngodd y llangciau.

10 Yna hi a syrthiodd ar ei hwyneb, ac

a ymgrymmodd i lawr, ac a ddywedodd
wrtho ef, Pa ham y cefais ffafr yn dy olwg
di, fel y cymmerit gydnabod arnaf, a min-
nau yn alltudes?
11 A Boaz a attebodd, ac a ddywedodd
wrthi, Gan fynegi y mynegwyd i mi'r hyn
oll a wnaethost i'th chwegr ar ol marwol-
aeth dy wr; ac *fel* y gadewaist dy dad a'th
fam, a gwlad dy enedigaeth, ac y daethost
at bobl nid adwaenit o'r blaen.
12 Yr ARGLWYDD a dalo am dy waith;
a bydded dy obrwy yn berffaith gan AR-
a Psal. 17. 8. a 36. 7. GLWYDD DDUW Israel, [a] yr hwn y daeth-
ost i obeithio dan ei adenydd.
13 Yna hi a ddywedodd, Caffwyf ffafr
yn dy olwg di, fy arglwydd; gan i ti fy
nghysuro i, a chan i ti lefaru wrth *fodd*
calon dy wasanaethferch, er nad ydwyf fel
un o'th law-forwynion di.
14 A dywedodd Boaz wrthi hi, Yn am-
ser bwyd tyred yma, a bwytta o'r bara, a
gwlych dy dammaid yn y finegr. A hi a
eisteddodd wrth ystlys y medelwyr: ac efe
a estynodd iddi gras-*yd;* a hi a fwyttaodd,
ac a ddigonwyd, ac a adawodd weddill.
15 A hi a gyfododd i loffa: a gorchy-
mynodd Boaz i'w weision, gan ddywedyd,
Lloffed hefyd ym mysg yr ysgubau, ac na
† Heb. *chywilyddiwch hi.* † feiwch arni.
16 A chan ollwng gollyngwch hefyd iddi
*beth* o'r ysgubau; a gadewch *hwynt,* fel y
lloffo hi *hwynt;* ac na cheryddwch hi.
17 Felly hi a loffodd yn y maes hyd yr
hwyr: a hi a ddyrnodd yr hyn a loffasai, ac
yr oedd ynghylch ephah o haidd.
18 ¶ A hi a'i cymmerth, ac a aeth i'r
ddinas: a'i chwegr a ganfu'r hyn a gasgl-
asai hi: hefyd hi a dynnodd allan, ac a
roddodd iddi'r hyn a weddillasai hi, wedi
cael digon.
19 A dywedodd ei chwegr wrthi hi, Pa
le y lloffaist heddyw, a pha le y gweithiaist?
bydded yr hwn a'th adnabu yn fendigedig.
A hi a fynegodd i'w chwegr pwy y gweith-
iasai hi gyd ag ef; ac a ddywedodd, Enw'r
gwr y gweithiais gyd ag ef heddyw, *yw* Boaz.
20 A dywedodd Naomi wrth ei gwaudd,
b Pen. 3. 10. 2 Sam. 2. 5. [b] Bendigedig *fyddo* efe gan yr ARGLWYDD,
yr hwn ni pheidiodd â'i garedigrwydd tu
a'r rhai byw a'r rhai meirw. Dywedodd
Naomi hefyd wrthi hi, Agos i ni *yw*'r gwr
‡ Neu, *un ydyw sydd iawn iddo ollwng.* Edrych Lef. 25. 25. hwnnw, ‡ o'n cyfathrach ni *y mae* efe.
21 A Ruth y Moabees a ddywedodd, Efe
a ddywedodd hefyd wrthyf, Gyd â'm
llangciau i yr arhosi, nes gorphen o honynt
fy holl gynhauaf i.
22 A dywedodd Naomi wrth Ruth ei
gwaudd, Da *yw,* fy merch, i ti fyned gyd â'i
langcesi ef, fel na ruthront i'th erbyn mewn
maes arall.
23 Felly hi a ddilynodd langcesau Boaz i
loffa, nes darfod cynhauaf yr haidd, a
chynhauaf y gwenith; ac a drigodd gyd â'i
chwegr.

## PEN. III.

Mawrth 29. B.

1 *Ruth, trwy addysg Naomi,* 5 *yn gorwedd wrth draed Boaz.* 8 *Boaz yn cydnabod rhan cyfathrachwr,* 14 *ac yn ei danfon hi ymaith â chwe mesur o haidd gyd â hi.*

Cylch 1312.

YNA Naomi ei chwegr a ddywedodd
wrthi, Fy merch, oni cheisiaf fi or-
phwysdra i ti, fel y byddo da i ti?
2 Ac yn awr onid *yw* Boaz o'n cyfathrach
ni, yr hwn y buost ti gyd â'i langcesi?
Wele, efe yn nithio haidd y nos hon yn y
llawr-dyrnu.

3 Ymolch, gan hynny, ac ymira, a gosod
dy ddillad am danat, a dos i wared i'r llawr-
dyrnu: na fydd gydnabyddus i'r gwr, nes
darfod iddo fwytta ac yfed.
4 A phan orweddo efe, yna dal ar y fan
y gorweddo efe ynddi; a dos, a † dinoetha † Neu,
ei draed ef, a gorwedd; ac efe a fynega i ti *cwyd y dillad oddi*
yr hyn a wnelych. *ar ei draed*
5 A hi a ddywedodd wrthi, Gwnaf yr *ef.*
hyn oll a erchaist i mi.
6 ¶ A hi a aeth i wared i'r llawr-dyrnu,
ac a wnaeth yn ol yr hyn oll a orchymyn-
asai ei chwegr iddi.
7 Ac wedi i Boaz fwytta ac yfed, fel y
llawenhaodd ei galon, efe a aeth i orwedd i
gwrr yr ysgafn. Hithau a ddaeth yn ddistaw,
ac a ddinoethodd ei draed ef, ac a orwed-
dodd.
8 ¶ Ac ynghanol y nos y gwr a ofnodd,
ac a ‡ ymdrôdd: ac wele, wraig yn gorwedd ‡ Heb.
wrth ei draed ef. *ymafaelodd.*
9 Ac efe a ddywedodd, Pwy *ydwyt* ti? A
hi a ddywedodd, Myfi *yw* Ruth dy law-
forwyn: [a] lleda gan hynny dy aden dros a Ezec. 16.
dy law-forwyn; canys fy nghyfathrachwr i 8.
*ydwyt* ti.
10 Ac efe a ddywedodd, [b] Bendigedig b Pen. 2.
*fyddech,* fy merch, gan yr ARGLWYDD: 20.
dangosaist fwy o garedigrwydd yn y diwedd,
nag yn y dechreu; gan nad aethost ar ol
gwŷr ieuaingc, na thlawd na chyfoethog.
11 Ac yn awr, fy merch, nac ofna; yr
hyn oll a ddywedaist, a wnaf it': canys holl
§ ddinas fy mhobl a ŵyr mai gwraig rin- § Heb.
weddol *ydwyt* ti. *borth.*
12 Ac yn awr gwir yw, fy *mod* i yn gyf-
athrachwr agos: er hynny y mae cyf-
athrachwr nes na myfi.
13 Aros heno; a'r bore, os efe a wna ran
cyfathrachwr â thi, da; gwnaed ran cyf-
athrachwr: ond os efe ni wna ran cyf-
athrachwr â thi; yna myfi a wnaf ran cyf-
athrachwr â thi, *fel mai* byw yr AR-
GLWYDD: cwsg hyd y bore.
14 ¶ A hi a orweddodd wrth ei draed
ef hyd y bore: a hi a gyfododd cyn yr
adwaenai neb eu gilydd. Ac efe a ddywed-
odd, Na chaffer gwybod dyfod gwraig i'r
llawr-dyrnu.
15 Ac efe a ddywedodd, Moes dy ‖ fan- ‖ Neu,
tell *sydd* am danat, ac ymafael ynddi. A hi *gynfas,* neu,
a ymaflodd ynddi; ac efe a fesurodd chwe *arffedog.*
*mesur* o haidd, ac a'i gosododd arni: a hi a
aeth i'r ddinas.
16 A phan ddaeth hi at ei chwegr, hi a
ddywedodd, Pwy *ydwyt* ti, fy merch? A hi
a fynegodd iddi'r hyn oll a wnaethai'r gwr
iddi hi.
17 A hi a ddywedodd, Y chwe *mesur* hyn o
haidd a roddodd efe i mi: canys dywedodd
wrthyf, Nid ai yn waglaw at dy chwegr.
18 Yna y dywedodd hithau, Aros, fy
merch, oni wypech pa fodd y digwyddo'r
peth *hyn:* canys ni orphwys y gwr, nes gor-
phen y peth hyn heddyw.

## PEN. IV.

1 *Boaz yn galw y cyfathrachwr nesaf ger bron.* 6 *Yntau yn gwrthod rhyddhâu 'r etifeddiaeth, yn ol y ddeddf yn Israel.* 9 *Boaz yn prynu'r etifeddiaeth;* 10 *ac yn priodi Ruth.* 13 *Hithau yn dwyn Obed, taid Dafydd.* 18 *Cenhedlaeth Phares.* Mawrth 29. P.

YNA Boaz a aeth i fynu i'r porth, ac a Cylch
eisteddodd yno. Ac wele, y cyf- 1312.
athrachwr yn myned heibio, *am* yr hwn y

dywedasai Boaz. Ac efe a ddywedodd wrtho,
Ho, hwn a hwn, tyred yn nes; eistedd yma.
Ac efe a nesaodd, ac a eisteddodd.
2 Ac efe a gymmerth ddengwr o henur-
iaid y ddinas, ac a ddywedodd, Eisteddwch
yma. A hwy a eisteddasant.
3 Ac efe a ddywedodd wrth y cyfathrach-
wr, Y rhan o'r maes yr hon *oedd* eiddo ein
brawd Elimelech a werth Naomi, yr hon a
ddychwelodd o wlad Moab.
† Heb. *datguddiam yn dy glust.* 4 A dywedais y † mynegwn it', gan ddy-
wedyd, Pryn *ef* ger bron y trigolion, a cher
bron henuriaid fy mhobl. Os rhyddhâi,
rhyddhâ *ef*; ac oni ryddhâi, mynega i mi,
fel y gwypwyf: canys nid *oes* ond ti i'w ryd-
dhâu, a minnau *sydd* ar dy ol di. Ac efe a
ddywedodd, Myfi a'i rhyddhâf.
5 Yna y dywedodd Boaz, Y diwrnod y
prynech di'r maes o law Naomi, ti a'i pryni
hefyd gan Ruth y Moabees gwraig y marw, i
gyfodi enw y marw ar ei etifeddiaeth ef.
6 ¶ A'r cyfathrachwr a ddywedodd, Ni
allaf *ei* ryddhâu i mi, rhag colli fy etifedd-
iaeth fy hun: rhyddhâ di it' dy hun fy rhan
i; canys ni allaf fi *ei* ryddhâu.
ᵃ Deut. 25. 7, 9. 7 ᵃ A hyn *oedd ddefod* gynt yn Israel, am
ryddhâd, ac am gyfnewid, i sicrhâu pob
peth: Gwr a ddïosgai ei esgid, ac a'i rhod-
dai i'w gymmydog: a hyn *oedd* dystiolaeth
yn Israel.
8 Am hynny y dywedodd y cyfathrachwr
wrth Boaz, Pryn it' dy hun: ac efe a ddï-
osgodd ei esgid.
9 ¶ A dywedodd Boaz wrth yr henur-
iaid, ac *wrth* yr holl bobl, Tystion *ydych*
chwi heddyw, i mi brynu'r hyn oll *oedd*
eiddo Elimelech, a'r hyn oll *oedd* eiddo
Chilion a Mahlon, o law Naomi.
10 Ruth hefyd y Moabees, gwraig Mah-
lon, a brynais im' yn wraig, i gyfodi enw
y marw ar ei etifeddiaeth ef, fel na thorrer
ymaith enw y marw o blith ei frodyr,
nac oddi wrth borth ei fangre: tystion
*ydych* chwi heddyw.
11 A'r holl bobl y rhai *oedd* yn y porth,
a'r henuriaid, a ddywedasant, Yr *ydym* yn
dystion: Yr ARGLWYDD a wnelo'r wraig
sydd yn dyfod i'th dŷ di fel Rahel, ac fel
Leah, y rhai a adeiladasant ill dwy dŷ Israel;
‡ a gwna di rymmusdra yn ᵇ Ephratah, bydd ‡ Neu, *cais di' gyfoeth,* neu, *rym.*
enwog yn Bethlehem.
12 Bydded hefyd dy dŷ di fel tŷ Phares, ᵇ Gen. 35. 19.
(ᶜ yr hwn a ymddûg Tamar i Judah) o'r had
yr hwn a ddyry'r ARGLWYDD it' o'r ᶜ Gen. 38. 29.
llangces hon.
13 ¶ Felly Boaz a gymmerodd Ruth; a 1 Chron. 2. 4.
hi a fu iddo yn wraig: ac efe a aeth i mewn
atti hi; a'r ARGLWYDD a roddodd iddi hi Mat. 1. 3.
feichiogi, a hi a ymddûg fab.
14 A'r gwragedd a ddywedasant wrth
Naomi, Bendigedig *fyddo*'r ARGLWYDD,
yr hwn ni'th adawodd di heb gyfathrachwr
heddyw, fel y gelwid ei enw ef yn Israel.
15 Ac efe fydd it' yn adferwr einioes, ac
yn ymgeleddwr i'th benwynni: canys dy
waudd, yr hon a'th gâr di, a blantodd iddo
ef, a hon *sydd* ᵈ well i ti nâ saith o feibion. ᵈ 1 Sam. 1. 8.
16 A Naomi a gymmerth y plentyn, ac
a'i gosododd ef yn ei mynwes, ac a fu fam-
maeth iddo.
17 A'i chymmydogesau a roddasant iddo
enw, gan ddywedyd, Ganwyd mab i Nao-
mi; ac a alwasant ei enw ef Obed: hwn
*oedd* dad Jesse, tad Dafydd.
18 ¶ Dyma genhedlaethau Phares: ᵉ Pha- ᵉ 1 Chron. 2. 4, &c.
res a genhedlodd Hesron,
19 A Hesron a genhedlodd Ram, a Ram Mat. 1. 3.
a genhedlodd Aminadab,
20 Ac Aminadab a genhedlodd Nahson, a
Nahson a genhedlodd § Salmon, § Neu, *Salmah.*
21 A Salmon a genhedlodd Boaz, a Boaz
a genhedlodd Obed,
22 Ac Obed a genhedlodd Jesse, a Jesse
a genhedlodd Dafydd.

# ¶ Llyfr cyntaf SAMUEL; yr hwn a elwir hefyd, Llyfr cyntaf y BRENHINOEDD.

## PEN. I.

Mawrth 30. B.

*1 Elcanah, Lefiad, oedd iddo ddwy wraig, yn addoli bob blwyddyn yn Siloh: 4 yn mawrhâu Hannah, er ei bod yn ammhlantadwy, ac er i Peninnah ei chythruddo. 9 Hannah yn wylofus yn gweddïo am blentyn. 12 Eli yn ei cheryddu hi yn gyntaf, ac ar ol hynny yn ei bendithio hi. 19 Hannah wedi dwyn Samuel, yn aros gartref nes ei ddiddyfnu ef: 24 yn ei gyflwyno ef i'r Arglwydd, yn ol ei hadduned.*

Cyn Crist cylch 1171.

AC yr oedd rhyw wr o Ramathaim
Sophim, o fynydd Ephraim, a'i enw
ᵃ Elcanah, mab Jeroham, fab Elihu, fab Tohu,
fab Suph, Ephratëwr:
ᵃ Edrych 1 Chron. 6. 27, 34. 2 A dwy wragedd *oedd* iddo; enw 'r
naill *oedd* Hannah, ac enw 'r llall Peninnah:
ac i Peninnah yr ydoedd plant, ond i Han-
nah nid *oedd* plant.
† Heb. *o flwyddyn i flwyddyn.* 3 A'r gwr hwn a ai i fynu o'i ddinas
† ᵇ bob blwyddyn i addoli, ac i aberthu i
ARGLWYDD y lluoedd, yn Siloh; a dau fab
ᵇ Exod. 23. 14. Eli, Hophni a Phinees, *oedd* offeiriaid i'r
Deut. 16. 16. ARGLWYDD yno.
4 ¶ Bu hefyd, y diwrnod yr aberthodd
Elcanah, roddi o hono ef i Peninnah ei
wraig, ac i'w meibion, a'i merched oll,
rannau.
5 Ond i Hannah y rhoddes efe un
rhan ‡ hardd: canys efe a garai Hannah, ‡ Neu, *ddau ddyblyg.*
ond yr ARGLWYDD a gauasai ei chroth hi:
6 A'i gwrthwynebwraig ᶜ a'i § cyffrôdd ᶜ Job 24. 21.
hi i'w chythruddo, am i'r ARGLWYDD gau
ei bru hi. § Heb. *digiodd.*
7 Ac felly y gwnaeth efe bob blwyddyn,
‖ pan esgynai hi i dŷ'r ARGLWYDD, hi ‖ Heb. *o'r pan esgynai.*
a'i cythruddai hi felly; fel yr wylai, ac na
fwyttâi.
8 Yna Elcanah ei gwr a ddywedodd
wrthi, Hannah, pa ham yr wyli? a pha ham
na fwyttâi? a pha ham y mae yn flin ar
dy galon? onid *wyf* fi ᵈ well i ti nâ deg o ᵈ Ruth 4. 15.
feibion?
9 ¶ Felly Hannah a gyfododd, wedi idd-
ynt fwytta ac yfed yn Siloh (ac Eli yr off-
eiriad oedd yn eistedd ar faingc wrth bost
teml yr ARGLWYDD)
10 Ac *yr oedd* hi yn chwerw ei henaid, ac
a weddïodd ar yr ARGLWYDD, a chan wylo
hi a wylodd.
11 Hefyd hi a addunodd adduned, ac a
ddywedodd, O ARGLWYDD y lluoedd, os
gan edrych yr edrychi ar gystudd dy law-
forwyn, ac a'm cofi i, ac nid anghofi dy law-
forwyn, ond rhoddi i'th law-forwyn † fab; † Heb. *had gwŷr.*
yna y rhoddaf ef i'r ARGLWYDD holl
ddyddiau ei einioes ac ᵉ ni ddaw ellyn ar ᵉ Num. 6. 5. Barn. 13. 5.
ei ben ef.

12 A bu, fel yr oedd hi yn † parhâu yn gweddïo ger bron yr ARGLWYDD, i Eli ddal sulw ar ei genau hi.

13 A Hannah oedd yn llefaru yn ei chalon, yn unig ei gwefusau a symmudent; a'i llais hi ni chlywid: am hynny Eli a dybiodd ei *bod* hi yn feddw.

14 Ac Eli a ddywedodd wrthi hi, Pa hŷd y byddi feddw? bwrw ymaith dy win oddi wrthyt.

15 A Hannah a attebodd, ac a ddywedodd, Nid *felly*, fy arglwydd; gwraig galed ‡ arni *ydwyf* fi: gwin hefyd na dïod gadarn nid yfais; eithr f tywelltais fy enaid ger bron yr ARGLWYDD.

16 Na chyfrif dy law-forwyn yn ferch Belial: canys o amldra fy myfyrdod, a'm blinder, y lleferais hyd yn hyn.

17 Yna'r attebodd Eli, ac a ddywedodd, Dos mewn heddwch: a Duw Israel a roddo dy ddymuniad yr hwn a ddymunaist ganddo ef.

18 A hi a ddywedodd, Cafed dy law-forwyn ffafr yn dy olwg. Felly yr aeth y wraig i'w thaith, ac a fwyttaodd; ac ni bu *athrist* mwy.

19 ¶ A hwy a gyfodasant yn fore, ac a addolasant ger bron yr ARGLWYDD; ac a ddychwelasant, ac a ddaethant i'w tŷ i Ramah. Ac Elcanah a adnabu Hannah ei wraig; a'r ARGLWYDD a'i cofiodd hi.

20 A bu, pan ddaeth § yr amser o amgylch, wedi beichiogi o Hannah, esgor o honi ar fab; a hi a alwodd ei enw ef ‖ Samuel: Canys gan yr ARGLWYDD y dymunais ef, *eb y hi.*

21 A'r gwr Elcanah a aeth i fynu, a'i holl dylwyth, i offrymmu i'r ARGLWYDD yr aberth blynyddol, a'i adduned.

22 Ond Hannah nid aeth i fynu: canys hi a ddywedodd wrth ei gwr, *Ni ddeuaf fi,* hyd oni ddiddyfner y bachgen: *yna* y dygaf ef, fel yr ymddangoso efe o flaen yr ARGLWYDD, ac y trigo byth.

23 Ac Elcanah ei gwr a ddywedodd wrthi, Gwna yr hyn a welych yn dda: aros hyd oni ddiddyfnech ef; yn unig yr ARGLWYDD a gyflawno ei air. Felly yr arhôdd y wraig, ac a fagodd ei mab, nes iddi ei ddiddyfnu ef.

24 ¶ A phan ddiddyfnodd hi ef, hi a'i dug ef i fynu gyd â hi, â thri o fustych, ac un ephah o beilliaid, a chostrelaid o win; a hi a'i dug ef i dŷ'r ARGLWYDD *yn* Siloh: a'r bachgen yn ieuangc.

25 A hwy a laddasant fustach, ac a ddygasant y bachgen at Eli.

26 A hi a ddywedodd, Oh, fy arglwydd, g *fel* y mae dy enaid yn fyw, fy arglwydd, myfi *yw*'r wraig oedd yn sefyll yma yn dy ymyl di, yn gweddïo ar yr ARGLWYDD.

27 Am y bachgen hwn y gweddïais; a'r ARGLWYDD a roddodd i mi fy nymuniad a ddymunais ganddo.

28 Minnau hefyd † a'i rhoddais ef i'r ARGLWYDD; yr holl ddyddiau y byddo efe byw, ‡ y rhoddwyd ef i'r ARGLWYDD. Ac efe a addolodd yr ARGLWYDD yno.

† Heb. *amlhau gweddïo.*
‡ Heb. *o ysbryd.*
f Psal. 62. 8. a 142. 2.
§ Heb. *cylchodd dyddiau.*
‖ Sef, *yr hwn a archwyd gan yr Arglwydd.*
g Gen. 42. 15. 2 Bren. 2. 2, 4, 6.
† Neu, *a attferais yr hwn a gefais trwy weddi i'r Arglwydd.*
‡ Neu, *a gaferir yr hwn a gefais trwy weddi.*

## PEN. II.

1 *Cân Hannah, yn dangos ei diolchgarwch.* 12 *Anwiredd meibion Eli.* 18 *Gweinidogaeth Samuel.* 20 *Hannah, trwy weddi Eli, yn cael mwy o ffrwyth.* 22 *Eli yn ceryddu ei feibion.* 27 *Prophwydoliaeth yn erbyn tŷ Eli.*

Sul 3 ar ol y Drindod, B. Mawrth 30. P.

Cylch 1165.

A Hannah a weddïodd, ac a ddywedodd, a Llawenychodd fy nghalon yn yr ARGLWYDD; fy nghorn a ddyrchafwyd yn yr ARGLWYDD: fy ngenau a ehangwyd ar fy ngelynion: canys llawenychais yn dy iachawdwriaeth di.

2 b Nid sanctaidd *neb* fel yr ARGLWYDD; canys nid dim hebot ti: ac nid *oes* graig megis ein Duw ni.

3 Na 'chwanegwch lefaru yn uchel uchel; c *na* ddeued allan ddim † balch o'ch genau: canys Duw gwybodaeth *yw*'r ARGLWYDD, a'i amcanion ef a gyflawnir.

4 Bwaau'r cedyrn a dorrwyd, a'r gweiniaid a ymwregysasant â nerth.

5 d *Y rhai* digonol a ymgyflogasant er bara; a'r *rhai* newynog a beidiasant; hyd onid esgorodd yr amhlantadwy ar saith, a e llesgâu yr aml *ei* meibion.

6 f Yr ARGLWYDD sydd yn marwhâu, ac yn bywhâu: efe sydd yn dwyn i wared i'r bedd, ac yn dwyn i fynu.

7 Yr ARGLWYDD sydd yn tlodi, ac cyfoethogi; g yn darostwng, ac yn dyrchafu.

8 Efe h sydd yn cyfodi'r tlawd o'r llwch, *ac* yn dyrchafu'r anghenus o'r tommennau, i i'w gosod gyd â thywysogion, ac i beri iddynt etifeddu teyrn-gadair gogoniant: canys eiddo'r ARGLWYDD k colofnau'r ddaear, ac efe a osododd y byd arnynt.

9 l Traed ei saint a geidw efe, a'r annuwiolion a ddistawant mewn tywyllwch: canys nid trwy nerth y gorchfyga gwr.

10 Y rhai a ymrysonant â'r ARGLWYDD, a ddryllir: m efe a darana yn eu herbyn hwynt o'r nefoedd: yr ARGLWYDD a farn derfynau'r ddaear; ac a ddyry nerth i'w frenhin, ac n a ddyrchafa gorn ei enneiniog.

11 Ac Elcanah a aeth i Ramah i'w dŷ; o a'r bachgen a fu weinidog i'r ARGLWYDD ger bron Eli yr offeiriad.

12 ¶ A meibion Eli *oedd* feibion Belial: nid adwaenent yr ARGLWYDD.

13 A defod yr offeiriad gyd â'r bobl *oedd,* pan offrymmai neb aberth, gwas yr offeiriad a ddeuai pan fyddai'r cig yn berwi, â chigwain dridaint yn ei law;

14 Ac a'i tarawai *hi* yn p y badell, neu yn yr efyddyn, neu yn y crochan, neu yn y pair: yr hyn oll a gyfodai'r gigwain, a gymmerai'r offeiriad iddo. Felly y gwnaent yn Siloh, i holl Israel y rhai oedd yn dyfod yno.

15 Hefyd cyn arogl-losgi o honynt y brasder, y deuai gwas yr offeiriad hefyd, ac a ddywedai wrth y gwr a fyddai yn aberthu, Dyro gig i'w rostio i'r offeiriad: canys ni fyn efe gennyt gig berw, ond amrwd.

16 Ac *os* gwr a ddywedai wrtho, Gan losgi llosgant ‡ yn awr y brasder, ac *yna* cymmer *fel* yr ewyllysio dy galon: yntau a ddywedai wrtho, *Nag e;* yn awr y rhoddi *ef:* ac onid è, mi a'i cymmeraf trwy gryfder.

17 Am hynny pechod y llangciau oedd fawr iawn ger bron yr ARGLWYDD: canys ffieiddiodd dynion offrwm yr ARGLWYDD.

18 ¶ A Samuel oedd yn gweini o flaen yr ARGLWYDD, yn fachgen, q wedi ymwregysu ag ephod llïain.

19 A'i fam a wnai iddo fantell fechan, ac a'i dygai iddo o flwyddyn i flwyddyn, pan ddelai hi i fynu gyd â'i gwr i aberthu'r aberth blynyddol.

20 ¶ Ac Eli a fendithiodd Elcanah a'i

a Edrych Luc 1. 46, &c.
b Deut. 3. 24. a 32. 4. Psal. 86. 8. a 89. 6, 8.
c Mal. 3. 13. Jud. 15.
† Heb. *caled.*
d Psal. 34. 10. Luc 1. 53.
e Jer. 15. 9.
f Deut. 32. 39. Job 5. 18. Hos. 6. 1.
g Psal. 75. 7.
h Psal. 113. 7, 8. Luc 1. 52.
i Job 36. 7.
k Psal. 24. 2. a 104. 5. Heb. 1. 3.
l Psal. 91. 11.
m Pen. 7. 10.
n Psal. 89. 24.
o Pen. 3. 1.
p Edrych 1 Esdr. 1. 12.
‡ Heb. *megis heddyw.*
q Exod. 28. 4.

wraig, ac a ddywedodd, Rhodded yr ARGLWYDD i ti had o'r wraig hon, am y † dymuniad a ddymunodd gan yr ARGLWYDD. A hwy a aethant i'w mangre eu hun.

† Neu, *benthyg a fenthyciwyd i'r Arglwydd.*

21 A'r ARGLWYDD a ymwelodd â Hannah; a hi a feichiogodd, ac a esgorodd ar dri o feibion, a dwy o ferched: a'r bachgen Samuel a gynnyddodd ger bron yr ARGLWYDD.

22 ¶ Ac Eli *oedd* hen iawn; ac efe a glybu yr hyn oll a wnelsai ei feibion ef i holl Israel, a'r modd y gorweddent gyd â'r [r] gwragedd oedd yn ymgasglu yn finteioedd *wrth* ddrws pabell y cyfarfod.

[r] Edrych Exod. 38. 8.

23 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Pa ham y gwnaethoch y pethau hyn? canys clywaf gan yr holl bobl hyn ddrygair i chwi.

24 Nag ê, fy meibion: canys nid da 'r gair yr ydwyf fi yn ei glywed; eich bod chwi yn peri i bobl yr ARGLWYDD ‡ droseddu.

‡ Neu, *weiddi.*

25 Os gwr a becha yn erbyn gwr, y swyddogion a'i barnant ef: ond os yn erbyn yr ARGLWYDD y pecha gwr, pwy a eiriol drosto ef? Ond ni wrandawsant ar lais eu tad, am y mynnai'r ARGLWYDD eu lladd hwynt.

26 (A'r bachgen Samuel a gynnyddodd, ac a aeth [s] yn dda gan DDUW, a dynion hefyd)

[s] Diar. 3. 4. Luc 2. 52. Act. 2. 4. Rhuf. 14. 18.

27 ¶ A daeth gwr i DDUW at Eli, ac a ddywedodd wrtho, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; [t] Onid gan ymddangos yr ymddangosais i dŷ dy dad, pan oeddynt yn yr Aipht yn nhŷ Pharaoh?

[t] Exod. 4. 14, 27.

28 Gan ei ddewis ef hefyd o holl lwythau Israel yn offeiriad i mi, i offrymmu ar fy allor, i losgi arogl-darth, i wisgo ephod ger fy mron? [u] oni roddais hefyd i dŷ dy dad di holl ebyrth tanllyd meibion Israel?

[u] Lef. 2. 3, 10. a 6. 16. a 7. 7, 8. a 10. 14. Num. 5. 9, 10. a 18. 8.

29 Pa ham y sethrwch chwi fy aberth a'm bwyd-offrwm, y rhai a orchymynais *yn fy* nhrigfa, ac yr anrhydeddi dy feibion yn fwy nâ myfi, gan eich pesgi eich hunain â'r goreu o holl offrymmau fy mhobl Israel?

30 Am hynny medd ARGLWYDD DDUW Israel, [x] Gan ddywedyd y dywedais, Dy dŷ di a thŷ dy dad a rodiant o'm blaen i byth: eithr yn awr medd yr ARGLWYDD, Pell fydd hynny oddi wrthyf fi; canys fy anrhydeddwŷr a anrhydeddaf fi, [y] a'm dirmygwŷr a ddirmygir.

[x] Exod. 29. 9.
[y] Psal. 18. 26. Mal. 2. 9.

31 Wele [z]'r dyddiau yn dyfod, pan dorrwyf dy fraich di, a braich tŷ dy dad, fel na byddo hen wr yn dy dŷ di.

[z] 1 Bren. 2. 27. Ezec. 44. 10. Edrych Pen. 4. 11, 18, 20. a 14. 3. a 22. 18, &c.

32 A thi a gai weled § gelyn *yn fy* nhrigfa, yn yr hyn oll a wna *DUW* o ddaioni i Israel: ac ni bydd [a] hen wr yn dy dŷ di byth.

§ Neu, *cystudd y babell, yn lle'r holl ddaioni a roisai Duw i Israel.*

33 A'r gwr o'r eiddot, *yr hwn* ni thorraf ymaith oddi wrth fy allor, *fydd* i beri i'th lygaid ballu, ac i beri i'th galon ofidio: a holl gynnyrch dy dŷ di a fyddant feirw yn wŷr.

34 A hyn *fydd* i ti yn arwydd, yr hwn a ddaw ar dy ddau fab, ar Hophni a Phinees: [b] Yn yr un dydd y byddant feirw ill dau.

[a] Edrych Zec. 1. 5.
[b] Pen. 4. 11.

35 A [c] chyfodaf i mi offeiriad ffyddlon a wna yn ol fy nghalon a'm meddwl; a mi a adeiladaf iddo ef dŷ sicr, ac efe a rodia ger bron fy enneiniog yn dragywydd.

[c] 1 Bren. 2. 35. 1 Chron. 29. 22. Ezec. 44. 15.

36 A bydd, i bob un a adewir yn dy dŷ di ddyfod *ac* ymgrymmu iddo ef am ddernyn o arian, a thammaid o fara; a dywedyd, ‖ Gosod fi yn awr mewn rhyw offeiriadaeth, i *gael* bwytta tammaid o fara.

‖ Heb. *Cyssyllta.*

## PEN. III.

1 *Y modd y datguddiwyd gair yr Arglwydd*
*gyntaf i Samuel.* 11 *Duw yn dangos i Sa-*
*muel ddinystr tŷ Eli.* 15 *Samuel o'i led-*
*anfodd yn mynegi i Eli y weledigaeth.* 19
*Samuel yn tyfu mewn cymmeriad.*

Sul 3ar ol y Drindod, P. Mawrth 31. B.

A'R [a] bachgen Samuel a wasanaethodd yr ARGLWYDD ger bron Eli: a' gair yr ARGLWYDD oedd werthfawr yn y dyddiau hynny; nid *oedd* weledigaeth eglur.

Cylch 1165.
[a] Pen. 2. 11.

2 A'r pryd hynny, pan *oedd* Eli yn gorwedd yn ei fangre, wedi i'w [c] lygaid ef ddechreu tywyllu, *fel* na allai weled;

Cylch 1141.
[b] Psal. 74. 9. Amos 8. 11.
[c] Pen. 4. 15.

3 A chyn i [d] lamp DUW ddiffoddi yn nheml yr ARGLWYDD, lle *yr oedd* arch DUW, a Samuel oedd wedi gorwedd *i gysgu*:

[d] Exec. 27. 21. Lef. 24. 3.

4 Yna y galwodd yr ARGLWYDD ar Samuel. Dywedodd yntau, Wele fi.

5 Ac efe a redodd at Eli, ac a ddywedodd, Wele fi; canys gelwaist arnaf. Yntau a ddywedodd, Ni elwais i; dychwel *a* gorwedd. Ac efe a aeth ac a orweddodd.

6 A'r ARGLWYDD a alwodd eilwaith, Samuel. A Samuel a gyfododd, ac a aeth at Eli, ac a ddywedodd, Wele fi; canys gelwaist arnaf. Yntau a ddywedodd, Na elwais, fy mab; dychwel *a* gorwedd.

7 † Ac [e] nid adwaenai Samuel etto yr ARGLWYDD, ac nid eglurasid iddo ef air yr ARGLWYDD etto.

† Neu, *Fel hyn y gwnai Samuel, cyn iddo adnabod yr Arglwydd, a chyn egluro gair yr Arglwydd iddo.*

8 A'r ARGLWYDD a alwodd Samuel drachefn y drydedd waith. Ac efe a gyfododd, ac a aeth at Eli, ac a ddywedodd, Wele fi; canys gelwaist arnaf. A deallodd Eli mai yr ARGLWYDD a alwasai ar y bachgen.

9 Am hynny Eli a ddywedodd wrth Samuel, Dos, gorwedd: ac os geilw efe arnat, dywed, Llefara, ARGLWYDD; canys y mae dy was yn clywed. Felly Samuel a aeth ac a orweddodd yn ei le.

[e] Edrych Act. 19. 2.

10 A daeth yr ARGLWYDD, ac a safodd, ac a alwodd megis o'r blaen, Samuel, Samuel. A dywedodd Samuel, Llefara; canys y mae dy was yn clywed.

11 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Samuel, Wele, fi yn gwneuthur peth yn Israel, [f] yr hwn pwy bynnag a'i clywo, fe a ferwina ei ddwy glust ef.

[f] 2 Bren. 21. 12. Jer. 19. 3.

12 Yn y dydd hwnnw y dygaf i ben yn erbyn Eli [g] yr hyn oll a ddywedais am ei dŷ ef, gan ddechreu a diweddu *ar unwaith*.

[g] Pen. 2. 30.

13 ‡ [h] Mynegais hefyd iddo ef, y barnwn ei dŷ ef yn dragywydd, am yr anwiredd a ŵyr efe; o herwydd i'w feibion haeddu iddynt felldith, ac § na's gwaharddodd efe iddynt.

‡ Neu, *Mynegaf.*
[h] Pen. 2. 29, 30, 31, &c.
§ Neu, *ni chuchiodd arnynt.*

14 Ac am hynny y tyngais wrth dŷ Eli, na wnair iawn am anwiredd tŷ Eli ag aberth, nac â bwyd-offrwm byth.

15 ¶ A Samuel a gysgodd hyd y bore, ac a agorodd ddrysau tŷ'r ARGLWYDD: a Samuel oedd yn ofni mynegi'r weledigaeth i Eli.

16 Ac Eli a alwodd ar Samuel, ac a ddywedodd, Samuel fy mab. Yntau a ddywedodd, Wele fi.

17 Ac efe a ddywedodd, Beth *yw*'r gair a lefarodd *yr ARGLWYDD* wrthyt? na chela, attolwg, oddi wrthyf: [i] fel hyn y gwnelo DUW i ti, ac fel hyn y chwanego, os celi oddi wrthyf *ddim* o'r holl ‖ bethau a lefarodd efe wrthyt.

[i] Ruth 1. 17.
‖ Neu, *eiriau.*

18 A Samuel a fynegodd iddo yr holl eiriau, ac ni's celodd ddim rhagddo. Dywedodd yntau, Yr ARGLWYDD *yw* efe: gwnaed *a fyddo* da yn ei olwg.

19 ¶ A chynnyddodd Samuel; a'r ARGLWYDD oedd gyd ag ef, ac ni adawodd i *un* o'i eiriau ef syrthio i'r ddaear.

20 A gwybu holl Israel, [k] o Ddan hyd Beerseba, † mai prophwyd ffyddlon yr ARGLWYDD *oedd* Samuel.

21 A'r ARGLWYDD a ymddangosodd drachefn yn Siloh: canys yr ARGLWYDD a ymeglurhaodd i Samuel yn Siloh trwy air yr ARGLWYDD.

[k] Barn. 20. 1. † Neu, *Sicrhâu Samuel yn brophwyd i'r Arglwydd.*

## PEN. IV.

Mawrth 31. P.

1 *Y Philistiaid yn gorchfygu'r Israeliaid yn Eben-ezer.* 3 *Hwythau yn cyrchu'r arch, i ddychrynu'r Philistiaid.* 10 *Y Philistiaid yn eu taro hwynt eilwaith; yn dal yr arch, ac yn lladd Hophni a Phinees.* 12 *Eli, wrth glywed y newyddion, yn syrthio yn wysg ei gefn, ac yn torri ei wddf.* 19 *Gwraig Phinees, wedi digalonni wrth esgor ar Ichabod, yn marw.*

Cylch 1141.

A † Daeth gair Samuel i holl Israel. Ac Israel a aeth yn erbyn y Philistiaid i ryfel; a gwersyllasant ger llaw [a] Eben-ezer: a'r Philistiaid a wersyllasant yn Aphec.

2 A'r Philistiaid a ymfyddinasant yn erbyn Israel: a'r gâd a ymgyfarfu; a lladdwyd Israel o flaen y Philistiaid: a hwy a laddasant o'r fyddin yn y maes ynghylch pedair mil o wŷr.

3 ¶ A phan ddaeth y bobl i'r gwersyll, henuriaid Israel a ddywedasant, Pa ham y tarawodd yr ARGLWYDD ni heddyw o flaen y Philistiaid? Cymmerwn attom o Siloh arch cyfammod yr ARGLWYDD, a deled i'n mysg ni; fel y cadwo hi ni o law ein gelynion.

4 Felly'r bobl a anfonodd i Siloh, ac a ddygasant oddi yno arch cyfammod ARGLWYDD y lluoedd, [b] yr hwn sydd yn aros *rhwng* [c] y cerubiaid: ac yno *yr oedd* dau fab Eli, Hophni a Phinees, gyd ag arch cyfammod Duw.

5 A phan ddaeth arch cyfammod yr ARGLWYDD i'r gwersyll, holl Israel a floeddiasant â bloedd fawr, fel y dadseiniodd y ddaear.

6 A phan glybu'r Philistiaid lais y floedd, hwy a ddywedasant, Pa beth *yw* llais y floedd fawr hon yngwersyll yr Hebreaid? A gwybuant mai arch yr ARGLWYDD a ddaethai i'r gwersyll.

7 A'r Philistiaid a ofnasant: o herwydd hwy a ddywedasant, Daeth Duw i'r gwersyll. Dywedasant hefyd, Gwae ni: canys ni bu y fath beth ‡ o flaen hyn.

8 Gwae ni: pwy a'n gwared ni o law'r Duwiau nerthol hyn? Dyma'r Duwiau a darawsant yr Aiphtiaid â'r holl blaau yn yr anialwch.

9 Ymgryfhêwch, a byddwch wŷr, O Philistiaid; rhag i chwi wasanaethu'r Hebreaid, [d] fel y gwasanaethasant hwy chwi: byddwch wŷr, ac ymleddwch.

10 ¶ A'r Philistiaid a ymladdasant; a [e] lladdwyd Israel, a ffodd pawb i'w babell: a bu lladdfa fawr iawn; canys syrthiodd o Israel ddeng mil ar hugain o wŷr traed.

11 Ac [f] arch Duw a ddaliwyd; a [g] dau fab Eli, Hophni a Phinees, a fuant feirw.

12 ¶ A gwr *o* Benjamin a redodd o'r fyddin, ac [h] a ddaeth i Siloh y diwrnod hwnnw, â'i ddillad wedi *eu* rhwygo, â [i] phridd ar ei ben.

13 A phan ddaeth efe, wele Eli yn eistedd ar [k] eisteddfa *ger* llaw'r ffordd, yn disgwyl: canys yr oedd ei galon ef yn ofni am arch Duw. A phan ddaeth y gwr i'r ddinas, a mynegi *hyn*, yr holl ddinas a waeddodd.

† Neu, *daeth i ben.* Heb. *oedd.* [a] Pen. 7. 12. [b] 2 Sam. 6. 2. Psal. 80. 1. a 99. 1. [c] Exod. 25. 18, 22. ‡ Heb. *ddoe, neu, echdoe.* [d] Barn. 13. 1. [e] Psal. 78. 9. [f] Psal. 78. 61. [g] Pen. 2. 34. [h] 2 Sam. 1. 2. [i] Jos. 7. 6. 2 Sam. 13. 19. a 15. 32. Job 2. 12. [k] Pen. 1. 9.

14 A phan glywodd Eli lais y waedd, efe a ddywedodd, Beth *yw* llais y cynnwrf yma? A'r gwr a ddaeth i mewn ar frys, ac a fynegodd i Eli.

15 Ac Eli *oedd* fab tair blwydd ar bymtheg a phedwar ugain; a § [l] phallasai ei lygaid ef, fel na allai efe weled.

16 A'r gwr a ddywedodd wrth Eli, Myfi *sydd* yn dyfod o'r fyddin, myfi hefyd a ffoais heddyw o'r fyddin. A dywedodd yntau, Pa beth ‖ a ddigwyddodd, fy mab?

17 A'r gennad a attebodd, ac a ddywedodd, Israel a ffodd o flaen y Philistiaid; a bu hefyd laddfa fawr ym mysg y bobl; a'th ddau fab hefyd, Hophni a Phinees, a fuant feirw, ac arch Duw a ddaliwyd.

18 A phan grybwyllodd efe am arch Duw, yntau a syrthiodd oddi ar yr eisteddle yn wysg ei gefn ger llaw'r porth; a'i wddf a dorrodd, ac efe a fu farw: canys y gwr *oedd* hen a thrwm. Ac efe a farnasai Israel ddeugain mlynedd.

19 ¶ A'i waudd ef, gwraig Phinees, oedd feichiog, *yn agos* i † esgor: a phan glybu son ddarfod dal arch Duw, a marw o'i chwegrwn a'i gwr, hi a ymgrymmodd, ac a glafychodd: canys ei ‡ gwaywyr a § ddaeth arni.

20 Ac ynghylch y pryd y bu hi farw, y dywedodd *y gwragedd* oedd yn sefyll gyd â hi, Nac ofna; canys esgoraist ar fab. Ond nid attebodd hi, ac ‖ nid ystyriodd.

21 A hi a alwodd y bachgen † [m] Ichabod; gan ddywedyd, [n] Y gogoniant a ymadawodd o Israel (am ddal arch Duw, ac am ei chwegrwn a'i gwr)

22 A hi a ddywedodd, Y gogoniant a ymadawodd o Israel: canys arch Duw a ddaliwyd.

§ Heb. *safasai.* [l] Pen. 3. 2. ‖ Heb. *yw'r peth.* † Neu, *waedd.* ‡ *gwewyr.* § Heb. *ymdroisant ynddi.* ‖ Heb. *ni osododd ei chalon.* † Sef, *Pa le y mae'r gogoniant?* [m] Pen. 14. 3. [n] Psal. 26. 8. a 78. 61.

## PEN. V.

1 *Y Philistiaid yn dwyn yr arch i Asdod, ac yn ei gosod yn nhŷ Dagon.* 3 *Bwrw Dagon i lawr, a'i dorri yn ddarniau, a tharo gwŷr Asdod â chlwyf y marchogion.* 8 *Duw yn gwneuthur felly i wŷr Gath. pan ddygwyd hi yno:* 10 *ac felly i wŷr Ecron.*

Ebrill 1. B.

A'R Philistiaid a gymmerasant arch Duw, ac a'i dygasant hi o Eben-ezer i Asdod.

Cylch 1141.

2 A'r Philistiaid a gymmerasant arch Duw, ac a'i dygasant i mewn i dŷ Dagon, ac a'i gosodasant yn ymyl Dagon.

3 ¶ A'r Asdodiaid a gyfodasant yn fore drannoeth; ac wele, Dagon wedi syrthio i lawr ar ei wyneb, ger bron arch yr ARGLWYDD. A hwy a gymmerasant Ddagon, ac a'i gosodasant eilwaith yn ei le.

4 Codasant hefyd yn fore drannoeth; ac wele, Dagon wedi syrthio i lawr ar ei wyneb, ger bron arch yr ARGLWYDD: a phen Dagon, a dwy gledr ei ddwylaw, *oedd* wedi torri ar y trothwy; † *corph* Dagon yn unig a adawyd iddo ef.

5 Am hynny [a] ni sathr offeiriaid Dagon, na neb a ddelo i mewn i dŷ Dagon, ar drothwy Dagon yn Asdod, hyd y dydd hwn.

6 A thrwm fu llaw'r ARGLWYDD ar yr Asdodiaid; ac efe [b] a'u distrywiodd hwynt, ac a'u tarawodd hwynt, *sef* Asdod a'i therfynau, â [c] chlwyf y marchogion.

7 A phan welodd gwŷr Asdod mai felly'r *oedd*, dywedasant, Ni chaiff arch Duw Israel aros gyd â ni: canys caled yw ei law ef arnom, ac ar Ddagon ein duw.

† Neu, *y rhan ffiaidd o Ddagon.* [a] Edrych Seph. 1. 9. [b] Pen. 6. 5. [c] Psal. 78. 66.

8 Am hynny yr anfonasant, ac y casglasant holl arglwyddi'r Philistiaid attynt; ac a ddywedasant, Beth a wnawn ni i arch Duw Israel? A hwy a attebasant, Dyger arch Duw Israel o amgylch i Gath. A hwy a ddygasant arch Duw Israel o amgylch *yno*.

9 Ac wedi iddynt ei dwyn hi o amgylch, bu llaw 'r ARGLWYDD yn erbyn y ddinas â dinystr mawr iawn: ac efe a darawodd wŷr y ddinas o fychan hyd fawr, a chlwyf y marchogion oedd yn eu dirgel-leoedd.

10 Am hynny yr anfonasant hwy arch Duw i Ecron. A phan ddaeth arch Duw i Ecron, yr Ecroniaid a waeddasant, gan ddywedyd, Dygasant attom ni o amgylch arch Duw Israel, i'n lladd ni a'n pobl.

11 Am hynny yr anfonasant, ac y casglasant holl arglwyddi'r Philistiaid; ac a ddywedasant, Danfonwch ymaith arch Duw Israel, a dychweler hi adref; fel na laddo hi ni a'n pobl: canys dinystr angeuol *oedd* trwy'r holl ddinas; trom iawn oedd llaw Duw yno.

12 A'r gwŷr, y rhai ni buant feirw, a darawyd â chlwyf y marchogion: a gwaedd y ddinas a ddyrchafodd i'r nefoedd.

## PEN. VI.

Ebrill 1. P. 1 *Y Philistiaid, ar ol saith o fisoedd, yn ymgynghori am anfon yr arch yn ei hol:* 10 *ac yn ei dwyn hi gyd ag offrwm ar fenn newydd i Beth-semes.* 19 *Taro'r bobl am edrych yn yr arch.* 21 *Hwythau yn anfon at wŷr Ciriath-jearim i'w chyrchu hi.*

Cylch 1140.

A Bu arch yr ARGLWYDD yngwlâd y Philistiaid saith o fisoedd.

2 A'r Philistiaid a alwasant am yr offeiriaid ac am y dewiniaid, gan ddywedyd, Beth a wnawn ni i arch yr ARGLWYDD? hyspyswch i ni pa fodd yr anfonwn hi adref.

3 Dywedasant hwythau, Os ydych ar ddanfon ymaith arch Duw Israel, nac anfonwch hi yn wag; ond gan roddi rhoddwch iddo offrwm dros gamwedd: yna y'ch iacheir, ac y bydd hyspys iwch' pa ham nad ymadawodd ei law ef oddi wrthych chwi.

4 Yna y dywedasant hwythau, Beth *fydd* yr offrwm dros gamwedd a roddwn iddo? A hwy a ddywedasant, Pump o ffolennau aur, a phump o lygod aur, [a] *yn ol* rhif arglwyddi'r Philistiaid: canys yr un bla *oedd* † arnoch chwi oll, ac ar eich arglwyddi.

a Edrych Adn. 17.
† Heb. *arnynt hwy.*

5 Am hynny y gwnewch luniau eich ffolennau, a lluniau eich llygod sydd [b] yn difwyno y tir; a rhoddwch ogoniant i DDUW Israel: ysgatfydd efe a ysgafnhâ ei law oddi arnoch, ac oddi ar eich duwiau, ac oddi ar eich tir.

b Pen. 5. 6.

6 A pha ham y caledwch chwi eich calonnau, [c] megis y caledodd yr Aiphtiaid a Pharaoh eu calon? pan wnaeth efe yn ‡ rhyfeddol yn eu plith hwy, [d] oni ollyngasant hwy hwynt i fyned ymaith?

c Exod. 7. 13. a 8. 15. a 14. 17.
‡ Neu, *waradwyddus.*
d Exod. 12. 31.

7 Yn awr gan hynny gwnewch [e] fenn newydd, a chymmerwch ddwy fuwch flith, y rhai nid aeth iau arnynt; a deliwch y buchod dan y fenn, a dygwch eu lloi hwynt oddi ar eu hol i dŷ:

e 2 Sam. 6. 3.

8 A chymmerwch arch yr ARGLWYDD, a rhoddwch hi ar y fenn; a'r tlysau aur, y rhai a rhoddasoch iddi yn offrwm dros gamwedd, a osodwch mewn cist wrth ei hystlys hi, a gollyngwch hi i fyned ymaith.

9 Ac edrychwch, os â hi i fynu ar hyd ffordd ei bro ei hun i Beth-semes; *yna* efe a wnaeth i ni y mawr ddrwg hwn: ac onid ê, yna y cawn wybod nad ei law ef a'n tarawodd ni; *ond mai* damwain *oedd* hyn i ni.

10 ¶ A'r gwŷr a wnaethant felly; ac a gymmerasant ddwy fuwch flithion, ac a'u daliasant hwy dan y fenn, ac a gauasant eu lloi hwynt yn tŷ.

11 Ac a osodasant arch yr ARGLWYDD ar y fenn, a'r gist a'r llygod aur, a lluniau eu ffolennau hwynt.

12 A'r buchod a aethant ar hŷd y ffordd union i ffordd Beth-semes, ar hŷd y briffordd yr aethant, dan gerdded a brefu, ac ni throisant tu a'r llaw ddehau na thu a'r aswy: ac arglwyddi'r Philistiaid a aethant ar eu hol hyd derfyn Beth-semes.

13 A *thrigolion* Beth-semes *oedd* yn medi eu cynhauaf gwenith yn y dyffryn: ac a ddyrchafasant eu llygaid, ac a ganfuant yr arch; ac a lawenychasant wrth ei gweled.

14 A'r fenn a ddaeth i faes Josua y Bethsemesiad, ac a safodd yno; ac yno'r *oedd* maen mawr: a hwy a holltasant goed y fenn, ac a offrymmasant y buchod yn boethoffrwm i'r ARGLWYDD.

15 A'r Lefiaid a ddisgynasant arch yr ARGLWYDD, a'r gist yr hon *oedd* gyd â hi, yr hon *yr oedd* y tlysau aur ynddi, ac a'u gosodasant ar y maen mawr: a gwŷr Bethsemes a offrymmasant boeth-offrymmau, ac a aberthasant ebyrth i'r ARGLWYDD y dydd hwnnw.

16 A phum arglwydd y Philistiaid, pan welsant *hynny*, a ddychwelasant i Ecron y dydd hwnnw.

17 A dyma'r ffolennau aur, y rhai a roddodd y Philistiaid yn offrwm dros gamwedd i'r ARGLWYDD; dros Asdod un, dros Gazah un, dros Ascalon un, dros Gath un, dros Ecron un:

18 A'r llygod aur, *yn ol* rhifedi holl ddinasoedd y Philistiaid, *yn perthynu* i'r pum arglwydd, *yn gystal* y dinasoedd caerog, a'r trefi heb gaerau, hyd y § *maen* mawr Abel, yr hwn y gosodasant arno arch yr ARGLWYDD; *yr hwn sydd* hyd y dydd hwn ym maes Josua y Beth-semesiad.

§ Neu, *maen mawr.*

19 ¶ Ac [f] efe a darawodd wŷr Bethsemes, am iddynt edrych yn arch yr ARGLWYDD, ïe tarawodd o'r bobl ddengwr a thrugain a deng mil a deugain o wŷr. A'r bobl a alarasant, am i'r ARGLWYDD daro 'r bobl â lladdfa fawr.

f Edrych Exod. 19. 21. Num. 4. 5, 15, 20.

20 A gwŷr Beth-semes a ddywedasant, Pwy a ddichon sefyll yn wyneb yr ARGLWYDD DDUW sanctaidd hwn? ac at bwy yr ai efe oddi wrthym ni?

21 ¶ A hwy a anfonasant genhadau at drigolion Ciriath-jearim, gan ddywedyd, Y Philistiaid a ddygasant adref arch yr ARGLWYDD; deuwch i wared, *a* chyrchwch hi i fynu attoch chwi.

## PEN. VII.

1 *Gwŷr Ciriath-jearim yn dwyn yr arch i dŷ Abinadab, ac yn cyssegru Eleazar ei fab ef i'w chadw hi.* 2 *Ym mhen ugain mlynedd,* 3 *yr Israeliaid, trwy waith Samuel, yn edifarhau ar gyhoedd ym Mispah.* 9 *Tra'r ydoedd Samuel yn gweddio ac yn aberthu, yr Arglwydd yn arswydo'r Philistiaid â tharannau, yn Eben-ezer.* 13 *Darostwng y Philistiaid.* 15 *Samuel yn barnu Israel yn heddychlawn ac yn dduwiol.* Ebrill 2. B

Cylch 1140.

A Gwŷr [a] Ciriath-jearim a ddaethant, ac a gyrchasant i fynu arch yr ARGLWYDD, ac a'i dygasant hi i dŷ [b] Abina-

a Psal. 132. 6.
b 2 Sam. 6. 4.

dab, yn y bryn, ac a sancteiddiasant Eleazar
ei fab ef i gadw arch yr ARGLWYDD.
2 Ac o'r dydd y trigodd yr arch yn
Ciriath-jearim, y bu ddyddiau lawer; nid
amgen nag ugain mlynedd: a holl dŷ Israel
a alarasant ar ol yr ARGLWYDD.
Cylch 3 ¶ A Samuel a lefarodd wrth holl dŷ
1120. Israel, gan ddywedyd, Os dychwelwch
chwi at yr ARGLWYDD â'ch holl galon,
[c] Jos. 24. 14, 23. [c] bwriwch ymaith y duwiau dïeithr o'ch
[d] Barn. 2. 13. mysg, ac [d] Astaroth, a pharottôwch eich
calon at yr ARGLWYDD, [e] a gwasanaethwch
[e] Deut. 6. 13. a 10. 20. Mat. 4. 10. Luc 4. 8. ef yn unig; ac efe a'ch gwared chwi o law 'r
Philistiaid.
4 Yna meibion Israel a fwriasant ymaith
[f] Barn. 2. 11. [f] Baalim ac Astaroth, a'r ARGLWYDD yn
unig a wasanaethasant.
5 A dywedodd Samuel, Cesglwch holl
[g] Barn. 20. 1. 2 Bren. 25. 23. Israel i [g] Mispah, a mi a weddïaf drosoch
chwi at yr ARGLWYDD.
6 A hwy a ymgasglasant i Mispah, ac a
dynnasant ddwfr, ac a'*i* tywalltasant ger
bron yr ARGLWYDD, ac a ymprydiasant
y diwrnod hwnnw, ac a ddywedasant yno,
Pechasom yn erbyn yr ARGLWYDD. A Sa-
muel a farnodd feibion Israel ym Mispah.
7 A phan glybu 'r Philistiaid fod meibion
Israel wedi ymgasglu i Mispah, arglwyddi 'r
Philistiaid a aethant i fynu yn erbyn Israel:
a meibion Israel a glywsant, ac a ofnasant
rhag y Philistiaid.
8 A meibion Israel a ddywedasant wrth
Samuel, Na thaw di â gwaeddi drosom ni
at yr ARGLWYDD ein Duw, ar iddo ef ein
gwared ni o law 'r Philistiaid.
9 ¶ A Samuel a gymmerth laeth-oen, ac
a'*i* hoffrymmodd ef i gyd yn boeth-offrwm
[h] Psal. 99. 6. i'r ARGLWYDD: a [h] Samuel a waeddodd
ar yr ARGLWYDD dros Israel; a'r AR-
† Nen, *attebodd.* GLWYDD a'i † gwrandawodd ef.
10 A phan oedd Samuel yn offrymmu 'r
poeth-offrwm, y Philistiaid a nesasant i
[i] Edrych Jos. 10. 10. Barn. 4. 15. a 5. 20. ryfel yn erbyn Israel: a'r [i] ARGLWYDD
a daranodd â tharanau mawr yn erbyn y
Philistiaid y diwrnod hwnnw, ac a'u dryll-
iodd hwynt, a lladdwyd hwynt o flaen
Israel.
11 A gwŷr Israel a aethant o Mispah, ac
a erlidiasant y Philistiaid, ac a'u tarawsant
hyd oni *ddaethant* dan Bethcar.
12 A chymmerodd Samuel faen, ac a'*i*
gosododd rhwng Mispah a Sen, ac a alw-
‡ Sef, *Maen y cymmorth,* Pen. 4. 1. odd ei enw ef ‡ Eben-ezer; ac a ddywed-
odd, Hyd yma y cynnorthwyodd yr AR-
GLWYDD nyni.
13 ¶ Felly y darostyngwyd y Philisti-
aid, ac ni 'chwanegasant mwyach ddyfod
i derfyn Israel: a llaw 'r ARGLWYDD
a fu yn erbyn y Philistiaid holl ddyddiau
Samuel.
14 A'r dinasoedd, y rhai a ddygasai 'r
Philistiaid oddi ar Israel, a roddwyd adref
i Israel, o Ecron hyd Gath; ac Israel a
ryddhaodd eu terfynau o law 'r Philistiaid:
ac yr oedd heddwch rhwng Israel a'r
Amoriaid.
15 A Samuel a farnodd Israel holl ddydd-
iau ei fywyd.
16 Aeth hefyd o flwyddyn i flwyddyn
§ Heb. *ac a amgylchodd.* § oddi amgylch i Bethel, a Gilgal, a Mis-
pah, ac a farnodd Israel yn yr holl leoedd
hynny.
[k] Pen. 8. 4. 17 [k] A'i ddychwelfa *ydoedd* i Ramah;
canys yno *yr oedd* ei dŷ ef: yno hefyd y
barnai efe Israel; ac yno 'r adeiladodd efe
allor i'r ARGLWYDD.

PEN. VIII.

1 *Yr Israeliaid, o achos aflywodraeth meibion* Ebrill 2. P.
*Samuel, yn gofyn brenhin.* 6 *Duw yn*
*cysuro Samuel; ac yntau yn gweddïo yn*
*gystuddiol:* 10 *yn mynegi dull brenhin.* 19
*Duw yn ewyllysio i Samuel ymroi i dacrni*
*meibion Israel.*

AC wedi heneiddio Samuel, efe a osododd Cylch
ei feibion yn farnwŷr ar Israel. 1112.
2 Ac enw ei fab cyntaf-anedig ef oedd
† Joël; ac enw yr ail, Abïah: *y rhai hyn* † *Fasni,* 1 Chron. 6. 28.
*oedd* farnwŷr yn Beer-seba.
3 A'i feibion ni rodiasant yn ei ffyrdd ef,
eithr troisant ar ol cybydd-dra, a [a] chym- [a] Deut. 16. 19.
merasant obrwy, a gŵyrasant farn.
4 Yna holl henuriaid Israel a ymgasglas-
ant, ac a ddaethant at Samuel i Ramah,
5 Ac a ddywedasant wrtho ef, Wele, ti a 1095.
heneiddiaist, a'th feibion ni rodiant yn dy
ffyrdd di: yn awr [b] gosod arnom ni frenhin [b] Hos. 13. 10. Act. 13. 21.
i'n barnu, megis yr holl genhedloedd.
6 ¶ A'r ymadrodd fu ddrwg ‡ gan Sa-
muel, pan ddywedasant, Dyro i ni frenhin ‡ Heb. *yngolwg.*
i'n barnu: a Samuel a weddïodd ar yr AR-
GLWYDD.
7 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Samuel, Gwrando ar lais y bobl yn yr hyn
oll a ddywedant wrthyt: canys [c] nid ti y [c] Edrych Exod. 16. 8.
maent yn ei wrthod, ond [d] myfi a wrthod-
asant, rhag i mi deyrnasu arnynt,
8 Yn ol yr holl weithredoedd a wnaeth- [d] Pen. 10. 19.
ant, o'r dydd y dygais hwynt o'r Aipht
hyd y dydd hwn, ac *fel* y gwrthodasant fi,
ac y gwasanaethasant dduwiau dïeithr;
felly y gwnant hwy hefyd i ti.
9 Yn awr gan hynny § gwrando ar eu § Nen, *ufuddhâ i'w.*
llais hwynt: etto gan dystiolaethu tystio-
laetha iddynt, a dangos iddynt ddull y bren-
hin a deyrnasa arnynt.
10 ¶ A Samuel a fynegodd holl eiriau 'r
ARGLWYDD wrth y bobl, y rhai oedd yn
ceisio brenhin ganddo.
11 Ac efe a ddywedodd, [e] Dyma ddull [e] Edrych Deut. 17. 16, &c.
y brenhin a deyrnasa arnoch chwi: [f] Efe
a gymmer eich meibion, ac a'*u* gesyd iddo [f] Pen. 14. 52.
yn ei gerbydau, ac yn wŷr meirch iddo, ac
i redeg o flaen ei gerbydau ef:
12 Ac a'u gesyd *hwynt* iddo yn dywysog-
ion miloedd, ac yn dywysogion deg a deu-
gain, ac i aredig ei âr, ac i fedi ei gynhauaf,
ac i wneuthur arfau ei ryfel, a pheiriannau
ei gerbydau.
13 A'ch merched a gymmer efe yn apo-
thecaresau, yn gogesau hefyd, ac yn bobydd-
esau.
14 Ac [g] efe a gymmer eich meusydd, a'ch [g] 1 Bren. 21. 7.
gwinllannoedd, a'ch olew-lannoedd goreu,
ac a'*u* dyry i'w weision.
15 Eich hadau hefyd a'ch gwinllannoedd
a ddegymma efe, ac a'u dyry i'w ‖ ysta- ‖ Heb. *eunuchiaid.*
fellyddion ac i'w weision.
16 Eich gweision hefyd, a'ch morwyn-
ion, eich gwŷr ieuaingc goreu hefyd, a'ch
asynnod, a gymmer efe, ac a'*u* gesyd i'w
waith.
17 Eich defaid hefyd a ddegymma efe:
chwithau hefyd fyddwch yn weision iddo ef.
18 A'r dydd hwnnw y gwaeddwch, rhag
eich brenhin a ddewisasoch i chwi; ac ni
wrendy 'r ARGLWYDD arnoch yn y dydd
hwnnw.
19 ¶ Er hynny y bobl a wrthodasant
wrando ar lais Samuel; ac a ddywedasant,
Nag è, eithr brenhin fydd arnom ni:
20 Fel y byddom ninnau hefyd fel yr
holl genhedloedd; a'n brenhin a'n barna

ni, efe a â allan hefyd o'n blaen ni, ac efe a ymladd ein rhyfeloedd ni.

21 A gwrandawodd Samuel holl eiriau'r bobl, ac a'u hadroddodd hwynt lle y clybu'r ARGLWYDD.

22 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Samuel, Gwrando ar eu llais hwynt, a gosod frenhin arnynt. A dywedodd Samuel wrth wŷr Israel, Ewch bob un i'w ddinas ei hun.

## PEN. IX.

Ebrill 3. B.

1 *Saul yn anobeithio cael asynod ei dad,* 6 *trwy gyngor ei was,* 11 *a chyfarwyddiad llangcesau,* 15 *yn dyfod trwy ddatguddiad Duw,* 18 *at Samuel.* 19 *Samuel yn croesawu Saul yn y wledd;* 25 *ac, ar ol ymddiddan ag ef o'r neilldu, yn hebrwng Saul ar ei ffordd.*

1095. AC yr oedd gwr o Benjamin, a'i enw [a] Cis, mab Abiel, fab Seror, fab Bechorath, fab Aphïah, mab i wr o Jemini, yn gadarn o † nerth.

[a] Pen. 14. 51. 1 Chron. 8. 33.
† Neu, *olud.*

2 Ac iddo ef yr oedd mab, a'i enw Saul, yn wr ieuangc, dewisol a glân: ac nid *oedd* neb o feibion Israel lanach nag ef: [b] o'i ysgwydd i fynu *yr oedd* yn uwch na'r holl bobl.

[b] Pen. 10. 23.

3 Ac asynod Cis, tad Saul, a gyfrgollasant: a dywedodd Cis wrth Saul ei fab, Cymmer yn awr un o'r llangciau gyd â thi, a chyfod, dos, cais yr asynod.

4 Ac efe a aeth trwy fynydd Ephraim, ac a dramwyodd trwy wlad Salisah; ac ni's cawsant *hwynt:* yna y tramwyasant trwy wlad Salim; ac ni's *cawsant hwynt:* ac efe a aeth trwy wlad Jemini; ond ni's cawsant *hwynt.*

5 Pan ddaethant i wlad Suph, y dywedodd Saul wrth ei langc *oedd* gyd ag ef, Tyred, a dychwelwn; rhag i'm tad beidio â'r asynod, a gofalu am danom ni.

6 Dywedodd yntau wrtho ef, Wele, yn awr *y mae* yn y ddinas hon wr i DDUW, a'r gwr *sydd* anrhydeddus; yr hyn oll a ddywedo efe, gan ddyfod a ddaw: awn yno yn awr; nid hwyrach y mynega efe i ni y ffordd y mae i ni fyned iddi.

7 Yna y dywedodd Saul wrth ei langc, Wele, *od* awn ni, [c] pa beth a ddygwn ni i'r gwr? canys y bara ‡ a ddarfu yn ein llestri ni, a gwobr *arall* nid *oes* i'w ddwyn i wr Duw: beth *sydd* gennym?

[c] Edrych Barn. 13. 17. 1 Bren. 14. 3. 2 Bren. 4. 42. a 8. 8.
‡ Heb. *a aeth allan o'n.*

8 A'r llangc a attebodd eilwaith i Saul, ac a ddywedodd, Wele, cafwyd § gyd â mi bedwaredd ran sicl o arian: mi a roddaf *hynny* i wr Duw, er mynegi i ni ein ffordd.

§ Heb. *yn fy llaw i.*

9 (Gynt yn Israel, fel hyn y dywedai gwr [d] wrth fyned i ymgynghori â Duw; Deuwch, ac awn hyd at y gweledydd: canys y Prophwyd heddyw, a elwid gynt [e] yn Weledydd)

[d] Gen. 25. 22.
[e] 2 Sam. 24. 11. 2 Bren. 17. 13. Amos 7. 12.

10 Yna y dywedodd Saul wrth ei langc, Da ‖ y dywedi; tyred, awn. Felly yr aethant i'r ddinas *yr oedd* gwr Duw ynddi.

‖ Heb. *yw dy air.*

11 ¶ *Ac* fel yr oeddynt yn myned i riw y ddinas; hwy a gawsant langcesau yn dyfod allan i dynnu dwfr; ac a ddywedasant wrthynt, A yw'r gweledydd yma?

12 Hwythau a'u hattebasant hwynt, ac a ddywedasant, Ydyw; wele *efe* o'th flaen: brysia yr awr hon: canys heddyw y daeth efe i'r ddinas; o herwydd † [f] aberth *sydd* heddyw gan y bobl yn yr uchelfa.

† Neu, *gwledd.*
[f] Pen. 16. 2.

13 Pan ddeloch gyntaf i'r ddinas, chwi a'i cewch ef, cyn ei fyned i fynu i'r uchelfa i fwytta: canys ni fwytty'r bobl hyd oni ddelo efe, o herwydd efe a fendiga'r aberth; ar ol hynny y bwytty y rhai a wahoddwyd: am hynny ewch i fynu; canys ‡ ynghylch y pryd hyn y cewch ef.

‡ Heb. *heddyw.*

14 A hwy a aethant i fynu i'r ddinas: *a phan* ddaethant i ganol y ddinas, wele, Samuel yn dyfod i'w cyfarfod, i fyned i fynu i'r uchelfa.

15 ¶ [g] A'r ARGLWYDD a § fynegasai ynghlûst Samuel, ddiwrnod cyn dyfod Saul, gan ddywedyd,

[g] Pen. 15. 1. Act. 13. 21.
§ Heb. *ddatguddiasai glust Samuel.*

16 Ynghylch y pryd *hyn* y foru'r anfonaf attat ti wr o wlad Benjamin; a thi a'i heneini ef yn flaenor ar fy mhobl Israel, ac efe a wared fy mhobl o law'r Philistiaid: canys edrychais ar fy mhobl; o herwydd daeth eu gwaedd attaf.

17 A phan ganfu Samuel Saul, yr ARGLWYDD a ddywedodd wrtho ef, Wele'r gwr am yr hwn y dywedais wrthyt: hwn a ‖ lywodraetha ar fy mhobl.

‖ Heb. *attal fy mhobl.*

18 Yna Saul a nesaodd at Samuel ynghanol y porth, ac a ddywedodd, Mynega i mi, attolwg, pa le yma *y mae* tŷ y gweledydd.

19 A Samuel a attebodd Saul, ac a ddywedodd, Myfi *yw* y gweledydd: dos i fynu o'm blaen i'r uchelfa; canys bwyttêwch gyd â myfi heddyw: a mi a'th ollyngaf y bore, ac a fynegaf i ti yr hyn oll *y sydd* yn dy galon.

20 Ac *am* yr asynod a gyfrgollasant er ys tridiau, na ofala am danynt; canys cafwyd hwynt. † Ac i bwy *y mae* holl bethau dymunol Israel? onid i ti, ac i holl dŷ dy dad?

† *Ar bwy y mae holl ddymuniad Israel, onid arnat ti, ac ar.*

21 A Saul a attebodd ac a ddywedodd, Onid [h] mab Jemini *ydwyf* fi, o'r lleiaf o lwythau Israel? a'm teulu *sydd* leiaf o holl deuluoedd llwyth Benjamin? a pha ham y dywedi wrthyf ‡ y modd hyn?

[h] Psal. 68. 27.
‡ Heb. *yn ol y gair hwn.*

22 A Samuel a gymmerth Saul a'i langc, ac a'u dug hwynt i'r ystafell, ac a roddodd iddynt le o flaen y gwahoddedigion; a hwy *oeddynt* ynghylch dengwr ar hugain.

23 A Samuel a ddywedodd wrth y côg, Moes y rhan a roddais attat ti, am yr hon y dywedais wrthyt, Cadw hon gyd â thi.

24 A'r côg a gyfododd yr ysgwyddog, a'r hyn *oedd* arni, ac a'i gosododd ger bron Saul. A *Samuel* a ddywedodd, Wele, yr hyn a § adawyd; gosod ger dy fron, *a* bwytta: canys hyd y pryd hyn y cadwyd ef i ti, er pan ddywedais, Y bobl a wahoddais i. A bwyttaodd Saul gyd â Samuel y dydd hwnnw.

§ Neu, *gedwyd.*

25 ¶ A phan ddisgynasant o'r uchelfa i'r ddinas, *Samuel* a ymddiddanodd â Saul ar ben y tŷ.

26 A hwy a gyfodasant yn fore: ac ynghylch codiad y wawr, galwodd Samuel ar Saul i ben y tŷ, gan ddywedyd, Cyfod, fel y'th hebryngwyf ymaith. A Saul a gyfododd, ac efe a Samuel a aethant ill dau allan.

27 *Ac* fel yr oeddynt yn myned i wared i gwrr eithaf y ddinas, Samuel a ddywedodd wrth Saul, Dywed wrth y llangc am fyned o'n blaen ni (felly'r aeth efe) ond saf di ‖ yr awr hon, a mynegaf i ti air Duw.

‖ Heb. *heddyw.*

## PEN. X.

Ebrill 3. P.

1 *Samuel yn enneinio Saul;* 2 *ac yn ei sicrhâu ef trwy dri arwydd.* 9 *Troi calon Saul; ac yntau yn prophwydo.* 14 *Yn celu chwedl y frenhiniaeth rhag ei ewythr.* 17 *Dewis Saul trwy goelbren ym Mispah.* 26 *Amryw feddyliau ei ddeiliaid am dano ef.*

YNA Samuel a gymmerodd phïolaid o olew, ac a'i tywalltodd ar ei ben ef, 1095.

ac a'i cusanodd ef; ac a ddywedodd, Onid
a Act. 13. 21. [a] yr ARGLWYDD a'th enneiniodd di yn
flaenor ar [b] ei etifeddiaeth?
b Deut. 32. 9. 2 Pan elych di heddyw oddi wrthyf, yna
c Gen. 35. 19, 20. y cai ddau wr wrth [c] fedd Rahel, yn nherfyn
Benjamin, yn Selsah: a hwy a ddywedant
wrthyt, Cafwyd yr asynod yr aethost i'w
ceisio: ac wele, dy dad a ollyngodd heibio
† Heb. ofalu am. † chwedl yr asynod, a gofalu y mae am
danoch chwi, gan ddywedyd, Beth a wnaf
am fy mab?
3 Yna yr ai di ym mhellach oddi yno, ac
y deui hyd wastadedd Tabor: ac yno y'th
gyferfydd tri wŷr yn myned i fynu at
DDUW i Bethel; un yn dwyn tri o fynnod,
ac un yn dwyn tair torth o fara, ac un yn
dwyn costrelaid o win.
‡ Heb. ymofynant â thi am heddwch. Fel Barn. 18. 15 4 A hwy a ‡ gyfarchant well i ti, ac a
roddant i ti ddwy *dorth* o fara; *y rhai* a
gymmeri o'u llaw hwynt.
d Pen. 13. 3. 5 Ar ol hynny y deui i fryn Duw, [d] yn
yr hwn *y mae* sefyllfa'r Philistiaid: a phan
ddelych yno *i'r* ddinas, ti a gyfarfyddi â
thyrfa o brophwydi yn disgyn o'r uchelfa,
e Edrych 2 Bren. 3. 15. ac o'u blaen hwynt [e] nabl, a thympan, a
phibell, a thelyn; a hwythau yn pro-
phwydo.
6 Ac yspryd yr ARGLWYDD a ddaw
f Num. 11. 25. arnat ti; a [f] thi a brophwydi gyd â hwynt,
ac a droir yn wr arall.
7 A phan ddelo'r argoelion hyn i ti,
§ Heb. caffo dy law. gwna fel y § byddo'r achos: canys Duw
*sydd* gyd â thi.
8 A dos i wared o'm blaen i Gilgal; ac
wele, mi a ddeuaf i wared attat ti, i offrym-
mu offrymmau poeth, *ac* i aberthu ebyrth
g Pen. 13. 8. hedd: [g] aros am danaf saith niwrnod, hyd
oni ddelwyf attat, a mi a hyspysaf i ti yr hyn
a wnelych.
‖ Heb. ysgwydd. 9 ¶ A phan drodd efe ei ‖ gefn i fyned
† Heb. drodd. oddi wrth Samuel, Duw a † roddodd iddo
galon arall: a'r holl argoelion hynny a
ddaethant y dydd hwnnw *i ben*.
10 A phan ddaethant yno i'r bryn, wele,
fintai o brophwydi yn ei gyfarfod ef; ac
yspryd Duw a ddaeth arno yntau, ac efe a
brophwydodd yn eu mysg hwynt.
11 A phawb a'r a'i hadwaenai ef o'r
blaen a edrychasant; ac wele, *efe* gyd â'r
prophwydi yn prophwydo. Yna'r bobl a
ddywedasant bawb wrth ei gilydd, Beth
h Pen. 19. 24. *yw* hyn a ddaeth i fab Cis? [h] *A ydyw* Saul
hefyd ym mysg y prophwydi?
12 Ac un oddi yno a attebodd, ac a ddy-
wedodd, Etto pwy *yw* eu tad hwy? Am
hynny yr aeth yn ddiareb, *A ydyw* Saul
hefyd ym mysg y prophwydi?
13 Ac wedi darfod iddo brophwydo, efe a
ddaeth i'r uchelfa.
14 ¶ Ac ewythr Saul a ddywedodd wrtho
ef, ac wrth ei langc ef, I ba le yr aethoch?
Ac efe a ddywedodd, I geisio'r asynod: a
phan welsom na's *caid*, ni a ddaethom at
Samuel.
15 Ac ewythr Saul a ddywedodd, My-
nega, attolwg, i mi, beth a ddywedodd Sa-
muel wrthych chwi.
16 A Saul a ddywedodd wrth ei ewythr,
Gan fynegi mynegodd i ni fod yr asynod
wedi eu cael. Ond am chwedl y frenhin-
iaeth, yr hwn a ddywedasai Samuel, nid
ynganodd efe wrtho.
i Barn. 11. 11. a 20. 1. 17 ¶ A Samuel a alwodd y bobl ynghŷd
Pen. 11. 15. [i] at yr ARGLWYDD [k] i Mispah;
18 Ac a ddywedodd wrth feibion Israel,
k Pen. 7. 5. Fel hyn y dywedodd ARGLWYDD DDUW
Israel; Myfi a ddygais i fynu Israel o'r
Aipht, ac a'ch gwaredais chwi o law'r
Aiphtiaid, ac o law'r holl deyrnasoedd, a'r
rhai a'ch gorthrymment chwi.
19 A [l] chwi heddyw a wrthodasoch eich l Pen. 8. 7. 19. a 12. 12.
Duw, yr hwn sydd yn eich gwared chwi
oddi wrth eich holl ddrygfyd, a'ch helbul;
ac a ddywedasoch wrtho ef, *Nid felly*; eithr
gosod arnom ni frenhin. Am hynny sefwch
yr awr hon ger bron yr ARGLWYDD wrth
eich llwythau, ac wrth eich miloedd.
20 A Samuel a barodd i holl lwythau
Israel nesâu: [m] a daliwyd llwyth Benja- m Jos. 7. 14, 16.
min.
21 Ac wedi iddo beri i lwyth Benjamin
nesâu yn ol eu teuluoedd, daliwyd teulu
Matri; a Saul mab Cis a ddaliwyd: a phan
geisiasant ef, ni's caid ef.
22 Am hynny y gofynasant etto i'r AR-
GLWYDD, a ddeuai'r gwr yno etto. A'r
ARGLWYDD a ddywedodd, Wele, efe yn
ymguddio ym mhlith y dodrefn.
23 A hwy a redasant, ac a'i cyrchasant ef
oddi yno. A phan safodd ynghanol y bobl,
[n] yr oedd efe o'i ysgwydd i fynu yn uwch n Pen. 9. 2.
nâ'r holl bobl.
24 A dywedodd Samuel wrth yr holl bobl,
A welwch chwi yr hwn a ddewisodd yr AR-
GLWYDD, nad *oes neb* tebyg iddo ym mysg
yr holl bobl? A'r holl bobl a floeddiasant,
ac a ddywedasant, [o] Byw fyddo'r brenhin. o 1 Bren. 1. 25.
25 Yna Samuel a draethodd [p] gyfraith y
deyrnas wrth y bobl, ac a'i 'sgrifenodd p Edrych Deut. 17. 14, &c.
mewn llyfr, ac a'i gosododd ger bron yr
ARGLWYDD. A Samuel a ollyngodd ym- Pen. 8. 11.
aith yr holl bobl, bob un i'w dŷ.
26 ¶ A Saul hefyd a aeth i'w dŷ ei hun q Pen. 11. 12.
i Gibeah; a byddin o'r rhai y cyffyrddasai
Duw â'u calon, a aeth gyd ag ef. r 1 Bren. 10. 25.
27 Ond [q] meibion Belial a ddywedasant,
Pa fodd y gwared hwn ni? A hwy a'i dir- 2 Chron. 17. 5.
mygasant ef, ac [r] ni ddygasant anrheg iddo Psal. 72. 10.
ef. Eithr ni chymmerodd efe arno glywed Mat. 2. 11.
hyn.

## PEN. XI.

1 *Nahas yn cynnyg i wŷr Jabes Gilead ammod-* Ebrill 4. B.
*au gwaradwyddus.* 4 *Hwythau yn anfon*
*cenhadon, ac yn cael cynhorthwy gan Saul.*
12 *Yntau wrth hynny yn cael ei gadarnhâu,*
*ac adnewyddu ei frenhiniaeth.*

YNA [a] Nahas yr Ammoniad a ddaeth i 1095.
fynu, ac a wersyllodd yn erbyn [b] Jabes a Pen. 12. 12.
Gilead: a holl wŷr Jabes a ddywedasant b Edrych Barn. 21. 7.
wrth Nahas, Gwna gyfammod â ni, ac ni
a'th wasanaethwn di.
2 A Nahas yr Ammoniad a ddywedodd
wrthynt, Dan *yr ammod* hyn *y cyfammodaf* â
chwi; i mi gael tynnu pob llygad dehau i
chwi, fel y gosodwyf y gwaradwydd hyn ar
holl Israel.
3 A henuriaid Jabes a ddywedasant wrtho,
† Caniattâ i ni saith niwrnod, fel yr an- † Heb. Cyd-ddwg.
fonom genhadau i holl derfynau Israel: ac
oni *bydd* a'n gwaredo, ni a ddeuwn allan
attat ti.
4 ¶ A'r cenhadau a ddaethant i [c] Gibeah c Pen. 15. 34.
Saul, ac a adroddasant y geiriau lle y cly-
bu'r bobl. A'r holl bobl a ddyrchafasant eu
llef, ac a wylasant.
5 Ac wele, Saul yn dyfod ar ol y gwartheg
o'r maes. A dywedodd Saul, Beth *sydd* yn
peri i'r bobl wylo? Yna yr adroddasant
iddo eiriau gwŷr Jabes.
6 Ac [d] yspryd Duw a ddaeth ar Saul, d Edrych Barn. 3. 10.
pan glybu efe'r geiriau hynny; a'i ddig- a 6. 34. a 11.
ofaint ef a ennynodd yn ddirfawr. 29. a 14. 6.

7 Ac efe a gymmerth bâr o ychen, ac [e] a'u drylliodd, ac a'u danfonodd trwy holl derfynau Israel yn llaw 'r cenhadau; gan ddywedyd, Yr hwn nid êl ar ol Saul, ac ar ol Samuel, fel hyn y gwneir i'w wartheg ef. Ac ofn yr ARGLWYDD a syrthiodd ar y bobl, a hwy a ddaethant allan † yn unfryd.

[e] Barn. 19. 29.
† Heb. megis un gŵr.

8 A phan gyfrifodd efe hwynt yn Bezec, meibion [f] Israel oedd dri chan mil, a gwŷr Judah yn ddeng mil ar hugain.

Barn. 20. 1.
[f] 2 Sam. 2. 9.

9 A hwy a ddywedasant wrth y cenhadau a ddaethai, Fel hyn y dywedwch wrth wŷr Jabes Gilead; Y foru, erbyn gwresogi 'r haul, bydd i chwi ymwared. A'r cenhadau a ddaethant ac a fynegasant *hynny* i wŷr Jabes; a hwythau a lawenychasant.

10 Am hynny gwŷr Jabes a ddywedasant, Y foru y deuwn allan attoch chwi; ac y gwnewch i ni yr hyn oll a weloch yn dda.

11 A bu drannoeth i [g] Saul osod y bobl yn dair byddin; a hwy a ddaethant i ganol y gwersyll yn y wyliadwriaeth fore, ac a laddasant yr Ammoniaid nes gwresogi o'r dydd: a'r gweddillion a wasgarwyd, fel na thrigodd o honynt ddau ynghŷd.

[g] Edrych Pen. 31. 11.

12 ¶ A dywedodd y bobl wrth Samuel, [h] Pwy *yw* yr hwn a ddywedodd, A deyrnasa Saul arnom ni? [i] moeswch y gwŷr *hynny*, fel y rhoddom hwynt i farwolaeth.

[h] Pen. 10. 27.
[i] Edrych Luc 19. 27.

13 A Saul a ddywedodd, [k] Ni roddir neb i farwolaeth heddyw: canys heddyw y gwnaeth yr ARGLWYDD ymwared yn Israel.

[k] 2 Sam. 19. 22.

14 Yna Samuel a ddywedodd wrth y bobl, Deuwch, fel yr elom i Gilgal, ac yr adnewyddom y frenhiniaeth yno.

15 A'r holl bobl a aethant i Gilgal; ac yno y gwnaethant Saul yn frenhin, [l] ger bron yr ARGLWYDD yn Gilgal: a hwy a aberthasant yno ebyrth hedd ger bron yr ARGLWYDD. A Saul a lawenychodd yno, a holl wŷr Israel, yn ddirfawr.

[l] Pen. 10. 17.

## PEN. XII.

Sal 4 ar ol y Drindod, B. Ebrill 4. P.

1 *Samuel yn tystiolaethu ei ddiniweidrwydd,* 6 *ac yn ceryddu anniolchgarwch y bobl:* 16 *yn eu dychrynu hwynt â tharanau yn amser cynhauaf;* 20 *ac yn eu cysuro hwy â thrugaredd Duw.*

1095.

A Samuel a ddywedodd wrth holl Israel, Wele, gwrandewais ar eich llais yn yr hyn oll a ddywedasoch wrthyf, a gosodais frenhin arnoch.

2 Ac yr awr hon, wele, y brenhin yn rhodio o'ch blaen chwi: a minnau a heneiddiais, ac a benwynnais; ac wele, fy meibion hwythau gyd â chwi: a minnau a rodiais o'ch blaen chwi o'm mebyd hyd y dydd hwn.

3 Wele [a] fi; tystiolaethwch i'm herbyn ger bron yr ARGLWYDD, a cher bron ei eneiniog: [b] ŷch pwy a gymmerais? neu asyn pwy a gymmerais? neu pwy a dwyllais? neu pwy a orthrymmais i? neu o law pwy y cymmerais † wobr, ‡ i ddallu fy llygaid ag ef? a mi a'i talaf i chwi.

[a] Eccl. 46. 19.
[b] Num. 16. 15. Act. 20. 33. 1 Thes. 2. 5.
† Heb. bodlonrwydd.
‡ Heb. fel y cuddiwn fy llygaid oddi wrtho.

4 A hwy a ddywedasant, Ni thwyllaist ni, ni orthrymmaist ni chwaith, ac ni chymmeraist ddim o law neb.

5 Dywedodd yntau wrthynt, Yr ARGLWYDD *sydd* dyst yn eich erbyn chwi, ei eneiniog ef hefyd *sydd* dyst y dydd hwn, na chawsoch ddim yn fy llaw i. A'r *bobl a* ddywedasant, Tyst *ydyw*.

6 ¶ A Samuel a ddywedodd wrth y bobl, Yr ARGLWYDD *yw* yr hwn § a fawrhaodd Moses ac Aaron, a'r hwn a ddug i fynu eich tadau chwi o dir yr Aipht.

§ Heb. a wnaeth.

7 Yn awr gan hynny sefwch, fel yr ymresymmwyf â chwi ger bron yr ARGLWYDD, am holl gyfiawnderau 'r ARGLWYDD, y rhai a wnaeth efe ‖ i chwi ac i'ch tadau.

‖ Heb. â chwi.

8 [c] Wedi i Jacob ddyfod i'r Aipht, a [d] gwaeddi o'ch tadau chwi ar yr ARGLWYDD, yna 'r ARGLWYDD [e] a anfonodd Moses ac Aaron; a hwy a ddygasant eich tadau chwi o'r Aipht, ac a'u cyfleasant hwy yn y lle hwn.

[c] Gen. 46. 5, 6.
[d] Exod. 2. 23.
[e] Exod. 3. 10. a 4. 16.

9 A phan anghofiasant yr ARGLWYDD eu Duw, [f] efe a'u gwerthodd hwynt i law Sisera, tywysog milwriaeth Hasor, ac i law 'r [g] Philistiaid, ac i law brenhin [h] Moab; a hwy a ymladdasant i'w herbyn hwynt.

[f] Barn. 4. 2.
[g] Barn. 10. 7.
[h] Barn. 3. 12.

10 A hwy a waeddasant ar yr ARGLWYDD, ac a ddywedasant, Pechasom, am i ni wrthod yr ARGLWYDD, a gwasanaethu Baalim ac Astaroth: er hynny gwared ni yr awr hon o law ein gelynion, a nyni a'th wasanaethwn di.

11 A'r ARGLWYDD a anfonodd [i] Jerubbaal, a Bedan, a [k] Jephthah, a [l] Samuel, ac a'ch gwaredodd chwi o law eich gelynion o amgylch, a chwi a breswyliasoch yn ddïogel.

[i] Barn. 6. 14, 32.
[k] Barn. 11. 1.
[l] Pen. 7. 13.

12 A phan welsoch fod Nahas brenhin meibion Ammon yn dyfod yn eich erbyn, [m] dywedasoch wrthyf, Nag e; ond brenhin a deyrnasa arnom ni; a'r [n] ARGLWYDD eich DUW yn frenhin *i* chwi.

[m] Pen. 8. 5, 19.
[n] Barn. 8. 23.

13 Ac yn awr, wele 'r brenhin [o] a ddewisasoch chwi, *a'r* hwn a ddymunasoch: ac wele, yr ARGLWYDD a roddes frenhin arnoch chwi.

[o] Pen. 10. 19.

14 Os ofnwch chwi yr ARGLWYDD, a'i wasanaethu ef, a gwrando ar ei lais, heb anufuddhâu † gair yr ARGLWYDD; yna y byddwch chwi, a'r brenhin hefyd a deyrnasa arnoch, ar ol yr ARGLWYDD eich DUW.

† Heb. genau.

15 Ond os chwi ni wrandêwch ar lais yr ARGLWYDD, eithr anufuddhâu gair yr ARGLWYDD; yna y bydd llaw'r ARGLWYDD yn eich erbyn chwi, fel yn erbyn eich tadau.

16 ¶ Sefwch gan hynny yn awr, a gwelwch y peth mawr hyn a wna'r ARGLWYDD o flaen eich llygaid chwi.

17 Onid cynhauaf gwenith *yw* heddyw? Galwaf ar yr ARGLWYDD; ac efe a ddyry daranau, a gwlaw: fel y gwybyddoch ac y gweloch, mai mawr *yw* eich drygioni chwi yr hwn a wnaethoch yngolwg yr ARGLWYDD, yn gofyn i chwi frenhin.

18 Felly Samuel a alwodd ar yr ARGLWYDD; a'r ARGLWYDD a roddodd daranau a gwlaw y dydd hwnnw: a'r [p] holl bobl a ofnodd yr ARGLWYDD a Samuel yn ddirfawr.

[p] Edrych Ezra 10. 9.

19 A'r holl bobl a ddywedasant wrth Samuel, Gweddïa dros dy weision ar yr ARGLWYDD dy DDUW, fel na byddom feirw: canys 'chwanegasom ddrygioni ar ein holl bechodau, wrth geisio i ni frenhin.

20 ¶ A dywedodd Samuel wrth y bobl, Nac ofnwch; chwi a wnaethoch yr holl ddrygioni hyn: etto na chiliwch oddi ar ol yr ARGLWYDD, ond gwasanaethwch yr ARGLWYDD â'ch holl galon;

21 Ac na chiliwch: canys *felly'r aech* ar
ol oferedd, y rhai ni lesânt, ac ni'ch gwa-
redant; canys ofer *ydynt* hwy.
22 Canys ni wrthyd yr ARGLWYDD ei
bobl, er mwyn ei enw mawr: o herwydd
rhyngodd bodd i'r ARGLWYDD eich gwneu-
thur chwi yn bobl iddo ei hun.
23 A minnau, na atto DUW i mi bechu
yn erbyn yr ARGLWYDD, trwy beidio â
gweddïo drosoch: eithr dysgaf i chwi y
ffordd dda ac union.
24 Yn unig ofnwch yr ARGLWYDD, a gwas-
anaethwch ef mewn gwirionedd â'ch holl ga-
lon: canys gwelwch faint a wnaeth efe eroch.
25 Ond os dilynwch ddrygioni, chwi a'ch
brenhin a ddifethir.

## PEN. XIII.

Sul 4 ar ol y Drindod, P. Ebrill 5. B. 1 *Dewis fyddin Saul. 3 Saul yn galw 'r He-*
*breaid i Gilgal yn erbyn y Philistiaid, y*
*rhai y tarawsai Jonathan eu sefyllfa. 5*
*Mawr lu 'r Philistiaid. 6 Cyfyngdra 'r*
***Israeliaid.*** *8* ***Saul yn blino yn aros am Sa-***
***muel, ac yn aberthu.*** *11* ***Samuel yn ei ger-***
***yddu ef.*** *17 Tair byddin anrhaith y Philis-*
*tiaid. 19 Dyfais y Philistiaid, na ddioddef-*
*ent un gôf yn Israel.*

SAUL † a deyrnasodd un flwyddyn; ac
wedi iddo deyrnasu ddwy flynedd ar
Israel,
2 Saul a ddewisodd iddo dair mil o Israel;
dwy fil oedd gyd â Saul ym Michmas ac ym
mynydd Bethel, a mil oedd gyd â Jonathan
yn Gibeah Benjamin: a'r bobl eraill a anfon-
odd efe bawb i'w babell ei hun.

† Heb. *oedd fab blwydd yn ei deyrnas.* 1093.

3 A Jonathan a darawodd [a] sefyllfa 'r
Philistiaid, yr hon *oedd* yn ‡ Geba: a
chlybu 'r Philistiaid *hynny*. A Saul a gan-
odd mewn udgorn trwy 'r holl dir, gan ddy-
wedyd, Clywed yr Hebreaid.

[a] Pen. 10. 5. ‡ Neu, *y bryn.*

4 A holl Israel a glywsant ddywedyd daro
o Saul sefyllfa 'r Philistiaid, a bod Israel yn
§ ffiaidd gan y Philistiaid: a'r bobl a ym-
gasglodd ar ol Saul i Gilgal.

§ Heb. *drewi.*

5 ¶ A'r Philistiaid a ymgynnullasant, i
ymladd ag Israel, deng mil ar hugain o
gerbydau, a chwe mil o wŷr meirch, a
phobl *eraill* cyn amled a'r tywod *sydd* ar
fin y môr. A hwy a ddaethant i fynu, ac
a wersyllasant ym Michmas, o du'r dwy-
rain i Beth-afen.
6 Pan welodd gwŷr Israel fod yn gyfyng
arnynt (canys gwasgasid ar y bobl) yna y
bobl a [b] ymguddiasant mewn ogfeydd, ac
mewn dyrysni, ac mewn creigiau, ac mewn
tyrau, ac mewn pydewau.

[b] Barn. 6. 2.

7 A *rhai* o'r Hebreaid a aethant dros yr
Iorddonen, i dir Gad a Gilead: a Saul *oedd*
etto yn Gilgal, a'r holl bobl a ‖ aethant ar
ei ol ef dan grynu.

‖ Heb. *a grynodd ar ei ol ef.*

8 ¶ [c] Ac efe a arhosodd saith niwrnod,
hyd yr amser gosodedig *a nodasai* Samuel.
Ond ni ddaeth Samuel i Gilgal; a'r bobl a
ymwasgarodd oddi wrtho ef.

[c] Pen. 10. 8.

9 A Saul a ddywedodd, Dygwch attaf fi
boeth-offrwm, ac offrymmau hedd. Ac efe
a offrymmodd y poeth-offrwm.
10 Ac wedi darfod iddo offrymmu 'r
poeth-offrwm, wele, Samuel a ddaeth: a
Saul a aeth allan i'w gyfarfod ef, *ac* † i
gyfarch gwell iddo.

† Heb. *i'w fendithio ef.*

11 ¶ A dywedodd Samuel, Beth a
wnaethost ti? A Saul a ddywedodd, O
herwydd gweled o honof i'r bobl ym-
wasgaru oddi wrthyf, ac na ddaethost di-
thau o fewn y dyddiau gosodedig, ac i'r
Philistiaid ymgasglu i Michmas;

12 Am hynny y dywedais, Y Philistiaid
yn awr a ddeuant i wared attaf fi i Gilgal,
ac ni ‡ weddïais ger bron yr ARGLWYDD:
am hynny 'r anturiais i, ac yr offrymmais
boeth-offrwm.

‡ Heb. *ymbiliais ag wyneb yr Arglwydd.*

13 A Samuel a ddywedodd wrth Saul,
Ynfyd y gwnaethost: ni chedwaist orchy-
myn yr ARGLWYDD dy DDUW, yr hwn a
orchymynodd efe i ti: canys yr ARGLWYDD
yn awr a gadarnhasai dy frenhiniaeth di ar
Israel yn dragywydd.
14 Ond yn awr ni saif dy frenhiniaeth
di: [d] yr ARGLWYDD a geisiodd iddo wr
wrth *fodd* ei galon ei hun: yr ARGLWYDD
hefyd a orchymynodd iddo fod yn flaenor
ar ei bobl; o herwydd na chedwaist ti yr
hyn a orchymynodd yr ARGLWYDD i ti.

[d] Psal. 89. 20. Act. 13. 22.

15 A Samuel a gyfododd, ac a aeth i fynu
o Gilgal i Gibeah Benjamin: a chyfrifodd
Saul y bobl a gafwyd gyd ag ef, [e] ynghylch
chwe chant o wŷr.

[e] Pen. 14. 2.

16 A Saul a Jonathan ei fab, a'r bobl a
gafwyd gyd â hwynt, oedd yn aros yn Gi-
beah Benjamin: a'r Philistiaid a wersyllasant
ym Michmas.
17 ¶ A daeth allan o wersyll y Philistiaid
anrheithwŷr, yn dair byddin: un fyddin a
drodd tu a ffordd Ophrah, tu a gwlad Saul;
18 A'r fyddin arall a drodd *tu a* ffordd
Beth-horon; a'r drydedd fyddin a drodd *tu*
*a* ffordd y terfyn sy'n edrych tu a'r dyffryn
Seboim, tu a'r anialwch.
19 ¶ Ac [f] ni chaid gôf trwy holl wlad
Israel: canys dywedasai 'r Philistiaid, Rhag
gwneuthur o'r Hebreaid gleddyfau neu
waywffyn.

[f] Edrych 2 Bren. 24. 14. Jer. 24. 1.

20 Ond holl Israel a aent i wared at y
Philistiaid, i flaenllymmu bob un ei swch,
a'i gwlltwr, a'i fwyall, a'i gaib.
21 Ond yr oedd llif-ddur *i wneuthur* min
ar y ceibiau, ac ar y cylltyrau, ac ar y pig-
ffyrch, ac ar y bwyill, ac i § flaenllymmu 'r
symbylau.

§ Heb. *osod.*

22 Felly yn nydd y rhyfel [g] ni chaed na
chleddyf na gwaywffon yn llaw 'r un o'r
bobl *oedd* gyd â Saul a Jonathan, ond a gaed
gyd â Saul a Jonathan ei fab.

[g] Felly Barn. 5.

23 A sefyllfa 'r Philistiaid a aeth allan i
fwlch Michmas.

## PEN. XIV.

1 *Jonathan, heb wybod i'w dad, ac i'r offei-*
*riad a'r bobl, yn myned ac yn taro amddi-*
*ffynfa'r Philistiaid yn rhyfeddol. 15 Dy-*
*chryn Duw yn eu gyrru hwynt i ladd eu*
*gilydd. 17 Saul, heb aros am atteb yr offei-*
*riad, yn gosod arnynt. 21 Yr Hebreaid*
*caethion, a'r Israeliaid oedd yn llechu, yn*
*troi yn eu herbyn hwy. 24 Ehud adduned*
*Saul yn rhwystro 'r oruchafiaeth. 32 Saul*
*yn gwahardd i'r bobl fwytta gwaed; 35 ac*
*yn adeiladu allor. 36 Y bobl yn achub Jo-*
*nathan, wedi ei ddal wrth goelbren. 47*
*Cryfder Saul a'i deulu.*

Ebrill 5. P.

A Bu ddydd gwaith i Jonathan fab Saul
ddywedyd wrth y llangc oedd yn dwyn
ei arfau ef, Tyred, ac awn drosodd i am-
ddiffynfa 'r Philistiaid, yr hon *sydd* o'r tu
hwnt: ond ni fynegodd efe i'w dad.

Cylch 1087.

2 A Saul a arhosodd ynghwrr Gibeah, dan
*bren* pomgranad, yr hwn *oedd* ym Migron:
a'r bobl *oedd* gyd ag ef *oedd* [a] ynghylch
chwe channwr;

[a] Pen. 13. 15.

3 Ac [b] Ahïah mab Ahitub, frawd [c] Icha-
bod, fab Phinees, fab Eli, offeiriad yr AR-
GLWYDD yn Siloh, oedd yn gwisgo ephod. Ac
ni wyddai 'r bobl i Jonathan fyned ymaith.

[b] Pen. 22. 9, 11, 20, *Ahimelech.* [c] Pen. 4. 21.

4 ¶ A rhwng y bylchau, lle ceisiodd Jonathan fyned drosodd at amddiffynfa'r Philistiaid, *yr oedd* craig serth o'r naill du i'r bwlch, a chraig serth o'r tu arall i'r bwlch; ac enw y naill *oedd* Boses, ac enw y llall Seneh.

5 A † safiad y naill *oedd* oddi wrth y gogledd ar gyfer Michmas, a'r llall oddi wrth y dehau ar gyfer Gibeah.

† Heb. *dant.*

6 A dywedodd Jonathan wrth y llangc oedd yn dwyn ei arfau ef, Tyred, ac awn drosodd i amddiffynfa'r rhai dienwaededig hyn; nid hwyrach y gweithia'r ARGLWYDD gyd â ni: canys [d] nid *oes* rwystr i'r ARGLWYDD waredu trwy lawer neu trwy ychydig.

d 2 Chron. 14. 11.

7 A'r hwn oedd yn dwyn ei arfau ef a ddywedodd wrtho, Gwna'r hyn oll *sydd* yn dy galon: cerdda rhagot; wele, fi gyd â thi fel y mynno dy galon.

8 Yna y dywedodd Jonathan, Wele, ni a awn trosodd at y gwŷr *hyn*, ac a ymddangoswn iddynt.

9 Os dywedant fel hyn wrthym, ‡ Arhoswch nes i ni ddyfod attoch chwi; yna y safwn yn ein lle, ac nid awn i fynu attynt hwy.

‡ Heb. *Distewch.*

10 Ond os fel hyn y dywedant, Deuwch i fynu attom ni; yna'r awn i fynu: canys [e] yr ARGLWYDD a'u rhoddodd hwynt yn ein llaw ni; a [f] hyn *fydd* yn argoel i ni.

e 1 Mac. 4. 30.
f Edrych Gen. 24. 14.

11 A hwy a ymddangosasant ill dau i amddiffynfa'r Philistiaid. A'r Philistiaid a ddywedasant, Wele'r Hebreaid yn dyfod allan o'r tyllau y llechasant ynddynt.

12 A gwŷr yr amddiffynfa a attebasant Jonathan, a'r hwn oedd yn dwyn ei arfau, ac a ddywedasant, Deuwch i fynu attom ni, ac ni a ddangoswn beth i chwi. A dywedodd Jonathan wrth yr hwn oedd yn dwyn ei arfau, Tyred i fynu ar fy ol: canys yr ARGLWYDD a'u rhoddes hwynt yn llaw Israel.

13 A Jonathan a ddringodd i fynu ar ei ddwylaw, ac ar ei draed; a'r hwn oedd yn dwyn ei arfau ar ei ol. A hwy a syrthiasant o flaen Jonathan: ei yswain hefyd oedd yn lladd ar ei ol ef.

14 A'r lladdfa gyntaf honno a wnaeth Jonathan a'r hwn oedd yn dwyn ei arfau, oedd ynghylch ugeinwr, megis o fewn ynghylch hanner cyfer dau *ychen* o dir.

15 A bu fraw yn y gwersyll, yn y maes, ac ym mysg yr holl bobl: yr amddiffynfa a'r [g] anrheithwŷr hwythau hefyd a ddychrynasant; y ddaear hefyd a grynodd: a bu [h] dychryn § Duw.

g Pen. 13. 17.
h Gen. 35. 5.
§ Neu, *mawr.*

16 A gwylwŷr Saul yn Gibeah Benjamin a edrychasant; ac wele, y lliaws yn ymwasgaru, ac yn myned dan ymguro.

17 Yna y dywedodd Saul wrth y bobl *oedd* gyd ag ef, Cyfrifwch yn awr, ac edrychwch pwy a aeth oddi wrthym ni. A phan gyfrifasant, wele, Jonathan a chludydd ei arfau nid *oeddynt yno.*

18 A Saul a ddywedodd wrth Ahïah, Dwg yma arch DUW. (Canys yr oedd arch DUW y pryd hynny gyd â meibion Israel)

19 ¶ A thra yr ydoedd Saul yn ymddiddan â'r offeiriad, y terfysg, yr hwn *oedd* yngwersyll y Philistiaid, gan fyned a aeth, ac a anghwanegodd. A Saul a ddywedodd wrth yr offeiriad, Tynn attat dy law.

20 A Saul a'r holl bobl *oedd* gyd ag ef ‖ a ymgynnullasant, ac a ddaethant i'r rhyfel: ac wele, [i] gleddyf pob un yn erbyn ei gyfnesaf; a dinystr mawr iawn *oedd yno.*

‖ Heb. *a griwyd ynghyd.*
i Barn. 7. 22. 2 Chron. 10. 23.

21 Yr Hebreaid hefyd, *y rhai* oedd gyd â'r Philistiaid o'r blaen, y rhai a aethant i fynu gyd â hwynt i'r gwersyll *o'r wlad* oddi amgylch, hwythau hefyd *a droisant* i fod gyd â'r Israeliaid *oedd* gyd â Saul a Jonathan.

22 A holl wŷr Israel, y rhai [k] oedd yn llechu ym mynydd Ephraim, a glywsant ffoi o'r Philistiaid; hwythau hefyd a'u herlidiasant hwy o'u hol yn y rhyfel.

k Pen. 13. 6.

23 Felly 'r achubodd yr ARGLWYDD Israel y dydd hwnnw: a'r ymladd a aeth drosodd i Beth-afen.

24 ¶ A gwŷr Israel oedd gyfyng arnynt y dydd hwnnw: o herwydd tynghedasai Saul y bobl, gan ddywedyd, Melldigedig *fyddo*'r gwr a fwyttao fwyd hyd yr hwyr, fel y dialwyf ar fy ngelynion. Felly nid archwaethodd yr un o'r bobl *ddim* bwyd.

25 A'r *rhai* o'r holl wlad a ddaethant i goed, lle'r oedd mel ar hŷd wyneb y tir.

26 A phan ddaeth y bobl i'r coed, wele'r mel yn diferu; etto ni chododd *un* ei law at ei enau: canys ofnodd y bobl y llw.

27 Ond Jonathan ni chlywsai pan dynghedasai ei dad ef y bobl: am hynny efe a estynodd flaen y wialen *oedd* yn ei law, ac a'i gwlychodd yn nil y mel, ac a drodd ei law at ei enau; a'i lygaid a oleuasant.

28 Yna un o'r bobl a attebodd, ac a ddywedodd, Gan dynghedu y tynghedodd dy dad y bobl, gan ddywedyd, Melldigedig *fyddo*'r gwr a fwyttao fwyd heddyw. A'r bobl oedd luddedig.

29 Yna y dywedodd Jonathan, Fy nhad a flinodd y wlad. Gwelwch yn awr fel y goleuodd fy llygaid i, o herwydd i mi archwaethu ychydig o'r mel hwn:

30 Pa faint mwy, pe bwyttasai'r bobl yn ddïwarafun heddyw o anrhaith eu gelynion, yr hon a gawsant hwy? oni buasai yn awr fwy y lladdfa ym mysg y Philistiaid?

31 A hwy a darawsant y Philistiaid y dydd hwnnw o Michmas *hyd* Ajalon: a'r bobl oedd ddiffygiol iawn.

32 A'r bobl a ruthrodd at yr anrhaith, ac a gymmerasant ddefaid, a gwartheg, a lloi, ac a'u lladdasant ar y ddaear: a'r bobl a'u bwyttaodd [l] gyd â'r gwaed.

l Lef. 7. 26. a 19. 26. Deut. 12. 16.

33 ¶ Yna y mynegasant hwy i Saul, gan ddywedyd, Wele, y bobl sy'n pechu yn erbyn yr ARGLWYDD, gan fwytta ynghŷd â'r gwaed. Ac efe a ddywedodd, † Troseddasoch: treiglwch attaf fi heddyw faen mawr.

† Neu, *gwnaethoch yn fradwr-aidd.*

34 Dywedodd Saul hefyd, Ymwasgerwch ym mysg y bobl, a dywedwch wrthynt, Dygwch attaf fi bob un ei ŷch, a phob un ei lwdn dafad, a lleddwch *hwynt* yma, a bwyttêwch; ac na phechwch yn erbyn yr ARGLWYDD, gan fwytta ynghŷd â'r gwaed. A'r bobl oll a ddygasant bob un ei ŷch yn ei law y noswaith honno, ac a'*u* lladdasant yno.

35 A Saul a adeiladodd allor i'r ARGLWYDD. Hon oedd yr allor gyntaf a adeiladodd efe i'r ARGLWYDD.

36 ¶ A dywedodd Saul, Awn i wared ar ol y Philistiaid liw-nos, ac anrheithiwn hwynt hyd oni oleuo'r bore, ac na adâwn un o honynt. Hwythau a ddywedasant, Gwna yr hyn oll *fyddo* da yn dy olwg. Yna y dywedodd yr offeiriad, Nesâwn yma at DDUW.

37 Ac ymofynodd Saul â DUW, A af fi i wared ar ol y Philistiaid? a roddi di hwynt yn llaw Israel? Ond [m] nid attebodd efe ef y dydd hwnnw.

m Pen. 28. 6.

38 A dywedodd Saul, [n] Dyneswch yma holl ‡ bennaethiaid y bobl: mynnwch wybod hefyd, ac edrychwch ym mhwy y bu y pechod hwn heddyw.

n Jos. 7. 14. Pen. 10. 19.
‡ Heb. *conglau,* Barn. 20. 2.

39 Canys, *megis mai* byw yr AR-
GLWYDD, yr hwn sydd yn gwaredu Israel,
pe byddai hyn yn Jonathan fy mab, dïau y
llwyr-roddir ef i farwolaeth. Ac nid atteb-
odd *neb* o'r holl bobl ef.
40 Yna y dywedodd efe wrth holl Israel,
Chwi a fyddwch ar y naill du; minnau he-
fyd a Jonathan fy mab fyddwn ar y tu
arall. A dywedodd y bobl wrth Saul,
Gwna *a fyddo* da yn dy olwg.
41 Am hynny y dywedodd Saul wrth
† Neu, *Dangos y gwirion.* ARGLWYDD DDUW Israel, † Dod oleufy-
nag. A daliwyd Jonathan a Saul: ond y
‡ Heb. *aethant ymaith.* bobl a ‡ ddiangodd.
42 Dywedodd Saul hefyd, Bwriwch *goel-*
*bren* rhyngof fi a Jonathan fy mab. A dal-
iwyd Jonathan.
43 Yna y dywedodd Saul wrth Jonathan,
Mynega i mi beth a wnaethost. A Jonathan
a fynegodd iddo, ac a ddywedodd, Gan
archwaethu yr archwaethais ychydig o fel
ar flaen y wïalen *oedd* yn fy llaw; *ac* wele,
a fyddaf fi farw?
[o] Ruth 1. 17. 44 Dywedodd Saul hefyd, [o] Felly gwneled
DUW *i mi*, ac felly 'chwaneged, ond gan
farw y byddi di farw, Jonathan.
45 A dywedodd y bobl wrth Saul, A leddir
Jonathan, yr hwn a wnaeth yr ymwared
[p] 2 Sam. 14. 11. mawr hyn yn Israel? Na atto DUW: [p] *fel mai*
1 Bren. 1. 52. byw yr ARGLWYDD, ni syrth *un* o wallt
ei ben ef i'r ddaear; canys gyd â DUW y
gweithiodd efe heddyw. A'r bobl a wared-
asant Jonathan, fel na laddwyd ef.
46 Yna Saul a aeth i fynu oddi ar ol y Phi-
listiaid: a'r Philistiaid a aethant i'w lle eu
hun.
47 ¶ Felly y cymmerodd Saul y frenhin-
iaeth ar Israel; ac a ymladdodd yn erbyn ei
holl elynion oddi amgylch, yn erbyn Moab,
[q] Pen. 11. 11. ac yn erbyn meibion [q] Ammon, ac yn erbyn
Edom, ac yn erbyn brenhinoedd Sobah, ac
yn erbyn y Philistiaid: ac yn erbyn pwy
bynnag yr wynebodd, efe a orchfygodd.
§ Neu, *Gweithiodd yn rymmus.* 48 § Cynhullodd lu hefyd, [r] a tharawodd
Amalec; ac a waredodd Israel o law ei an-
rheithwyr.
[r] Pen. 15. 3. 49 A [s] meibion Saul oedd Jonathan, ac
Issui, a Malci-sua. *Dyma* enwau ei ddwy
[s] Pen. 31. 2. ferched ef: enw'r hynaf *oedd* Merab, ac
1 Chron. 8. 33. enw yr ieuangaf Michal.
50 Ac enw gwraig Saul *oedd* Ahinoam
merch Ahimaas: ac enw tywysog ei filwr-
iaeth ef *oedd* Abner mab Ner, ewythr frawd
ei dad i Saul.
51 Cis hefyd *oedd* dad Saul; a Ner tad
[t] Pen. 9. 1. Abner *oedd* fab [t] Abïel.
52 A bu ryfel caled yn erbyn y Philistiaid
holl ddyddiau Saul: a phan welai Saul wr
[u] Pen. 8. 11. glew a nerthol, [u] efe a'i cymmerai atto ei
hun.

PEN. XV.

Sul 5 ar ol y Drindod, B. Ebrill 6. B. 1 *Samuel yn danfon Saul i ddinystrio Amalec.*
*6 Yntau yn arbed y Ceneaid, 8 ac Agag, a'r*
*hyn goreu o'r ysglyfaeth. 10 Samuel yn*
*cyhoeddi i Saul (ac efe yn ei ganmol ac yn*
*ei esgusodi ei hun) ddarfod i Dduw ei*
*wrthod ef am ei anufudd-dod. 24 Ymostyn-*
*giad Saul. 33 Samuel yn lladd Agag. 34*
*Samuel a Saul yn ymadael.*

Cylch 1079. A Samuel a ddywedodd wrth Saul, [a] Yr
ARGLWYDD a'm hanfonodd i i'th en-
[a] Pen. 9. 16. neinio di yn frenhin ar ei bobl, *sef* ar Israel:
ac yn awr gwrando ar lais geiriau yr AR-
GLWYDD.
2 Fel hyn y dywedodd ARGLWYDD y
lluoedd; Cofiais yr hyn a wnaeth Amalec i
Israel, [b] y modd y gosododd efe i'w erbyn ar [b] Exod. 17. 8, 14.
y ffordd, pan ddaeth efe i fynu o'r Aipht. Num. 24. 20.
3 Dos yn awr, a tharo Amalec, a dinystria Deut. 25. 17.
yr hyn oll *sydd* ganddo, ac nac eiriach ef;
ond lladd *hwynt*, yn wr ac yn wraig, yn
ddyn bach ac yn blentyn sugno, yn ych ac
yn oen, yn gamel ac yn asyn.
4 A Saul a gynhullodd y bobl, ac a'u cy-
frifodd hwynt yn Telaim, dau can mil o
wŷr traed, a deng mil o wŷr Judah.
5 A Saul a ddaeth hyd ddinas i Amalec,
ac a † gynllwynodd yn y dyffryn. † Neu, *ymladdodd.*
6 ¶ Dywedodd Saul hefyd wrth [c] y Ce-
neaid, Cerddwch, ciliwch, ewch i wared o [c] Num. 24. 21.
fysg yr Amaleciaid; rhag i mi eich distrywio
chwi gyd â hwynt: herwydd [d] ti a wnaeth- Barn. 1. 16.
ost drugaredd â holl feibion Israel, pan [d] Exod. 18. 10, 19.
ddaethant i fynu o'r Aipht. A'r Ceneaid a Num. 10. 29.
ymadawsant o fysg yr Amaleciaid.
7 A Saul a darawodd yr Amaleciaid o
Hafilah, *ffordd* y delech di i [e] Sur, yr hon [e] Gen. 16. 7. a 25. 18.
*sydd* ar gyfer yr Aipht.
8 Ac [f] a ddaliodd Agag brenhin yr Ama- [f] Edrych 1 Bren. 20. 34, 35.
leciaid yn fyw, ac [g] a laddodd yr holl bobl
â min y cleddyf. [g] Edrych Pen. 30. 1.
9 Ond Saul a'r bobl a arbedasant Agag,
a'r goreu o'r defaid, a'r ychen, a'r ‡ brasaf ‡ Neu, *ail goreu.*
o'r wyn, a'r hyn oll *ydoedd* dda, ac ni ddi-
strywient hwynt: a phob peth gwael a salw,
hwnnw a ddifrodasant hwy.
10 ¶ Yna y bu gair yr ARGLWYDD wrth
Samuel, gan ddywedyd,
11 [h] Edifar yw gennyf osod Saul yn fren- [h] 2 Sam. 24. 16.
hin: canys efe a ddychwelodd oddi ar fy
ol i, ac ni chyflawnodd fy ngeiriau. A bu
ddrwg gan Samuel; ac efe a lefodd ar yr
ARGLWYDD ar hŷd y nos.
12 A phan gyfododd Samuel yn fore i gyf-
arfod Saul, mynegwyd i Samuel, gan ddy-
wedyd, Daeth Saul i [i] Carmel; ac wele, efe [i] Jos. 15. 55.
a osododd iddo le, efe a amgylchodd hefyd,
ac a dramwyodd, ac a aeth i wared i Gilgal.
13 A Samuel a ddaeth at Saul. A Saul
a ddywedodd wrtho ef, Bendigedig *fyddech*
di gan yr ARGLWYDD: mi a gyflawnais air
yr ARGLWYDD.
14 A dywedodd Samuel, Beth ynte *yw*
brefiad y defaid hyn yn fy nghlustiau, a
beichiad y gwartheg yr hwn yr ydwyf yn ei
glywed?
15 A Saul a ddywedodd, Oddi ar yr Ama-
leciaid y dygasant hwy: canys y bobl a ar-
bedodd y defaid goreu, a'r ychen, i aberthu
i'r ARGLWYDD dy DDUW; a'r rhan arall a
ddifrodasom ni.
16 Yna y dywedodd Samuel wrth Saul,
Aros, a mi a fynegaf i ti yr hyn a lefarodd
yr ARGLWYDD wrthyf fi neithiwyr. Yn-
tau a ddywedodd wrtho, Llefara.
17 A Samuel a ddywedodd, [k] Onid pan [k] Pen. 9. 21.
*oeddit* fychan yn dy olwg dy hun, *y gwnaed* di
yn ben *ar* lwythau Israel, ac yr enneiniodd
yr ARGLWYDD di yn frenhin ar Israel?
18 A'r ARGLWYDD a'th anfonodd di i
daith, ac a ddywedodd, Dos, a difroda'r
pechaduriaid, yr Amaleciaid, ac ymladd i'w
herbyn, nes § eu difa hwynt. § Heb *iddynt eu difa*, &c.
19 Paham gan hynny na wrandewaist ar
lais yr ARGLWYDD, eithr troaist at yr an-
rhaith, a gwnaethost ddrwg yngolwg yr
ARGLWYDD?
20 A Saul a ddywedodd wrth Samuel, Yn
wir mi a wrandewais ar lais yr ARGLWYDD,
ac a rodiais yn y ffordd y'm hanfonodd yr
ARGLWYDD *iddi*, a dygais Agag brenhin
Amalec, ac a ddifrodais yr Amaleciaid.

21 Ond y bobl a gymmerth o'r yspail, dde-
faid a gwartheg, blaenion y diofrodwyth, i ab-
erthu i'r ARGLWYDD dy DDUW yn Gilgal.
l Psal. 50. 8, 9. 22 A Samuel a ddywedodd, [l] A *yw* ewyllys
Esay 1. 11. yr ARGLWYDD ar boeth-offrymmau, neu
ebyrth, megis ar wrando ar lais yr AR-
m Preg. 5. 1. GLWYDD? Wele, [m] gwrando *sydd* well nag
Hos. 6. 6. aberth; *ac* ufuddhâu, nâ braster hyrddod.
Mat. 5. 21. a 23 Canys anufudd-dod *sydd fel* pechod de-
9. 13. a 12. 7. winiaeth, a throseddiad *sydd* anwiredd a
delw-addoliaeth. O herwydd it' fwrw ymaith
air yr ARGLWYDD, yntau a'th fwrw dithau
ymaith o *fod* yn frenhin.
n Edrych 24 ¶ [n] A Saul a ddywedodd wrth Samuel,
2 Sam. 12. 13. Pechais: canys troseddais air yr ARGLWYDD,
a'th eiriau dithau; o herwydd im' ofni'r
bobl, a gwrando ar eu llais hwynt.
25 Ond yn awr maddeu, attolwg, fy mhe-
chod, a dychwel gyd â mi, fel yr addolwyf yr
ARGLWYDD.
26 A Samuel a ddywedodd wrth Saul, Ni
ddychwelaf gyd â thi: canys bwriaist ym-
aith air yr ARGLWYDD, a'r ARGLWYDD
a'th fwriodd dithau ymaith o fod yn frenhin
ar Israel.
27 A phan drodd Samuel i fyned ymaith,
o Edrych 1 Bren. 11. 30. [o] efe a ymaflodd yngh wrr ei fantell ef; a
hi a rwygodd.
p Pen. 28. 28 A Samuel a ddywedodd wrtho, [p] Yr
17. ARGLWYDD a rwygodd frenhiniaeth Israel
1 Bren. 11. 31. oddi wrthyt ti heddyw, ac a'i rhoddes i gym-
mydog i ti, gwell nâ thydi.
† Neu, 29 A hefyd † Cadernid Israel [q] ni ddywed
*Tragywyddoldeb,* gelwydd, ac nid edifarhâ: canys nid dyn
neu, *Buddugoliaeth.* *yw* efe, i edifarhâu.
30 Yna y dywedodd *Saul,* Pechais; an-
q Num. 23. rhydedda fi, attolwg, yn awr ger bron hen-
19. uriaid fy mhobl, a cher bron Israel, a dychwel
2 Tim. 2. 13. gyd â mi, fel yr addolwyf yr ARGLWYDD
Tit. 1. 2. dy DDUW.
31 Felly Samuel a ddychwelodd ar ol
Saul; a Saul a addolodd yr ARGLWYDD.
32 ¶ Yna y dywedodd Samuel, Cyrchwch
attaf fi Agag brenhin yr Amaleciaid. Ac
Agag a ddaeth atto ef yn hoyw. Ac Agag
a ddywedodd, Chwerwder marwolaeth yn
ddïau a aeth ymaith.
r Exod. 17. 33 A Samuel a ddywedodd, [r] Fel y di-
11. blantodd dy gleddyf di wragedd, felly y di-
Num. 14. 45. blentir dy fam dithau ym mysg gwragedd.
A Samuel a ddarniodd Agag ger bron yr
ARGLWYDD yn Gilgal.
34 ¶ Yna Samuel a aeth i Ramah; a Saul
s Pen. 11. 4. a aeth i fynu i'w dŷ yn [s] Gibeah Saul.
t Edrych 35 Ac [t] nid ymwelodd Samuel mwyach â
Pen. 19. 24. Saul hyd ddydd ei farwolaeth; ond Samuel
a alarodd am Saul: ac edifar fu gan yr
ARGLWYDD osod Saul yn frenhin ar Israel.

## PEN. XVI.

Ebrill 6. P. 1 *Samuel, wedi ei ddanfon gan Dduw, dan*
*rith aberthu, yn dyfod i Bethlehem.* 6 *Ce-*
*ryddu ei farn ddynol ef.* 13 *Efe yn enneinio*
*Dafydd.* 19 *Saul yn danfon am Ddafydd i*
*lonyddu ei yspryd drwg.*

Cylch A'R ARGLWYDD a ddywedodd wrth Sa-
1063. muel, Pa hŷd y galeri di am Saul, gan i
mi ei fwrw ef ymaith o deyrnasu ar Israel?
Llanw dy gorn ag olew, a dos; mi a'th anfonaf
di at Jesse y Bethlehemiad: canys ym mysg
ei feibion ef y darperais im' frenhin.
2 A Samuel a ddywedodd, Pa fodd yr af
fi? os Saul a glyw, efe a'm lladd i. A dy-
† Heb. *yn* wedodd yr ARGLWYDD, Cymmer anneir-
*dy law di.* fuwch † gyd â thi, a dywed, Deuthum [a] i
a Pen. 9. 12. aberthu i'r ARGLWYDD.

3 A galw Jesse i'r aberth, a mi a hyspysaf
i ti yr hyn a wnelych: a thi a enneini i mi
yr hwn a ddywedwyf wrthyt.
4 A gwnaeth Samuel yr hyn a archasai'r
ARGLWYDD, ac a ddaeth i Bethlehem.
A henuriaid y ddinas a ddychrynasant wrth
gyfarfod ag ef; ac a ddywedasant, [b] Ai b 1 Bren. 2.
heddychlon dy ddyfodiad? 13.
5 Ac efe a ddywedodd, Heddychlon:
deuthum i aberthu i'r ARGLWYDD: ym-
sancteiddiwch, a deuwch gyd â mi i'r
aberth. Ac efe a sancteiddiodd Jesse a'i
feibion, ac a'u galwodd hwynt i'r aberth.
6 ¶ A phan ddaethant, efe a edrychodd
ar [c] Eliab; ac a ddywedodd, Diau *fod* en- c Pen. 17.
neiniog yr ARGLWYDD ger ei fron ef. 13.
7 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Sa- 1 Chron. 27.
muel, Nac edrych ar ei wynebpryd ef, nac ar 18.
uchder ei gorpholaeth ef: canys gwrthodais
ef. O herwydd nid *edrych* DUW fel yr ed-
rych dyn: canys dyn a edrych ar y golygiad;
ond [d] yr ARGLWYDD a edrych ar y galon. d 1 Chron.
8 Yna Jesse a alwodd [e] Abinadab, ac a 28. 9.
barodd iddo ef fyned o flaen Samuel. A Psal. 7. 9. Jer. 11. 20.
dywedodd yntau, Ni ddewisodd yr AR- a 17. 10. a
GLWYDD hwn chwaith. 20. 12.
9 Yna y gwnaeth Jesse i ‡ Sammah ddy- e Pen. 17.
fod. A dywedodd yntau, Ni ddewisodd yr 13.
ARGLWYDD hwn chwaith. ‡ *Shimeah,* 2 Sam. 13.
10 Yna y parodd Jesse i'w saith mab 3.
ddyfod ger bron Samuel. A Samuel a ddy- *Shimmah,*
wedodd wrth Jesse, Ni ddewisodd yr AR- 1 Chron. 2. 13.
GLWYDD y rhai hyn.
11 Dywedodd Samuel hefyd wrth Jesse,
Ai dyma *dy* holl blant? Yntau a ddywed-
odd, Yr ieuangaf etto sydd yn ol; ac wele,
*mae* [f] efe yn bugeilio'r defaid. A dywed- f 2 Sam. 7.
odd Samuel wrth Jesse, Danfon, a chyrch 8.
ef: canys nid eisteddwn ni i lawr nes ei Psal. 78. 70.
ddyfod ef yma.
12 Ac efe a anfonodd, ac a'i cyrchodd ef.
Ac efe *oedd* wridgoch, a theg yr olwg, a
hardd o wedd. A dywedodd yr ARGLWYDD,
Cyfod, enneinia ef: canys dyma efe.
13 Yna y cymmerth Samuel gorn yr olew,
ac [g] a'i heneiniodd ef ynghanol ei frodyr. g Psal. 89.
A daeth [h] yspryd yr ARGLWYDD ar Dda- 20.
fydd, o'r dydd hwnnw allan. Yna Samuel a h Edrych
gyfododd, ac a aeth i Ramah. Num. 27.
14 ¶ Ond yspryd yr ARGLWYDD a gil- 18.
iodd oddi wrth Saul; ac [i] yspryd drwg oddi Barn. 13.
wrth yr ARGLWYDD a'i § blinodd ef. 25. a 14. 6.
15 A gweision Saul a ddywedasant wrtho Pen. 10. 6, 10.
ef, Wele yn awr, drwg yspryd oddi wrth i Pen. 18.
DDUW sydd yn dy flino di. 10. a 19. 9.
16 Dyweded, attolwg, ein meistr ni *wrth* § Neu, *dychrynodd.*
dy weision *sydd* ger dy fron, *am* iddynt geis-
io gwr yn medru canu telyn: a bydd, pan
ddelo drwg yspryd oddi wrth DDUW arnat
ti, yna iddo ef ganu â'i law; a da fydd i ti.
17 A dywedodd Saul wrth ei weision,
Edrychwch yn awr i mi *am* wr yn medru
canu yn dda, a dygwch *ef* attaf fi.
18 Ac un o'r llangciau a attebodd, ac a
ddywedodd, Wele, gwelais fab i Jesse y
Bethlehemiad, yn medru canu, ac yn rym-
mus o nerth, ac yn rhyfelwr, yn ddoeth o
ymadrodd hefyd, ac yn wr lluniaidd; a'r
ARGLWYDD *sydd* gyd ag ef.
19 ¶ Yna yr anfonodd Saul genhadau at
Jesse, ac a ddywedodd, Anfon attaf fi Dda-
fydd dy fab, yr hwn *sydd* gyd â'r praidd.
20 A Jesse a gymmerth asyn *llwythog* o
fara, a chostrelaid o win, a mynn gafr, ac a'u
hanfonodd gyd â Dafydd ei fab at Saul.
21 A Dafydd a ddaeth at Saul, ac a safodd

ger ei fron ef: yntau a'i hoffodd ef yn fawr;
ac efe a aeth yn gludydd arfau iddo ef.
22 A Saul a anfonodd at Jesse, gan ddy-
wedyd, Arhosed Dafydd, attolwg, ger fy
mron i: canys efe a gafodd ffafr yn fy
ngolwg.
k Adn. 14. 23 A phan fyddai k y *drwg* yspryd oddi
wrth DDUW ar Saul, y cymmerai Ddafydd
delyn, ac y canai â'i ddwylaw: a byddai
esmwythdra i Saul; a da *oedd hynny* iddo,
a'r yspryd drwg a giliai oddi wrtho.

## PEN. XVII.

Sul 5 ar ol y Drindod, P. Ebrill 7. B. 1 *Pan ydoedd lluoedd yr Israeliaid a'r Philisti-
aid yn barod i ymladd, 4 y mae Goliath yn
dyfod allan yn rhyfygus, yn gofyn un i ym-
ladd ag ef. 12 Dafydd, wedi i'w dad ei
ddanfon ef i ymweled â'i frodyr, yn cynnyg
ymladd ag ef. 28 Eliab yn ei 'sturdio ef.
30 Ei ddwyn ef ger bron Saul. 32 Yntau
yn dangos yr achos yr oedd efe mor hyderus.
38 Y mae efe heb ddim arfau, ond ffydd, yn
lladd y cawr. 55 Saul yn cymmeryd cyd-
nabod o Ddafydd.*

Cylch 1063. YNA'r Philistiaid a gasglasant eu byddin-
oedd i ryfel, ac a ymgynnullasant yn
a Jos. 15. 35. a Sochoh, yr hon *sydd* yn Judah, ac a wer-
† *yn Ephes-dammim; a elwir Pas-dammim, 1 Chron. 11. 13.* syllasant rhwng Socho ac Azecah, † yn-
ghwrr Dammim.
2 Saul hefyd a gwŷr Israel a ymgasglasant,
ac a wersyllasant yn nyffryn Elah, ac a drefn-
asant y fyddin i ryfel yn erbyn y Philistiaid.
3 A'r Philistiaid oedd yn sefyll ar fynydd
o'r naill du, ac Israel yn sefyll ar fynydd o'r
tu arall: a dyffryn *oedd* rhyngddynt.
4 ¶ A daeth gwr rhyngddynt hwy allan o
wersylloedd y Philistiaid, a'i enw Goliath,
o Gath: ei uchder *oedd* chwe chufydd a
rhychwant.
5 A helm o bres ar ei ben, a llurig em-
mog a wisgai: a phwys y llurig *oedd* bûm
mil o siclau pres.
6 A bottasau pres *oedd* am ei draed ef, a
‡ Neu, *choler.* ‡ tharian pres rhwng ei ysgwyddau.
7 A phaladr ei waywffon ef *oedd* fel car-
fan gwehydd; a blaen ei waywffon ef *oedd*
chwe chan sicl o haiarn: ac un yn dwyn ta-
rian oedd yn myned o'i flaen ef.
8 Ac efe a safodd, ac a waeddodd ar fy-
ddinoedd Israel, ac a ddywedodd wrthynt, I
ba beth y deuwch i drefnu '*ch* byddinoedd?
Onid *ydwyf* fi Philistiad, a chwithau yn
weision i Saul? dewiswch i chwi wr, i ddy-
fod i wared attaf fi.
9 Os gall efe ymladd â mi, a'm lladd i;
yna y byddwn ni yn weision i chwi: ond
os myfi a'i gorchfygaf ef, ac a'i lladdaf ef;
yna y byddwch chwi yn weision i ni, ac y
gwasanaethwch ni.
10 A'r Philistiad a ddywedodd, Myfi a
waradwyddais fyddinoedd Israel y dydd
hwn: moeswch attaf fi wr, fel yr ymladdom
ynghŷd.
11 Pan glybu Saul a holl Israel y geiriau
hynny *gan* y Philistiad, yna y digalonnasant,
ac yr ofnasant yn ddirfawr.
b Pen. 16. 1. 12 ¶ A'r Dafydd hwn *oedd* b fab i c Ephra-
c Gen. 35. 19. tëwr o Bethlehem Judah, a'i enw Jesse; ac
iddo ef *yr oedd* d wyth o feibion: a'r gwr yn
d Edrych 1 Chron. 2. 13, 14, 15. nyddiau Saul a ai yn henafgwr ym mysg
gwŷr.
13 A thri mab hynaf Jesse a aethant *ac* a
ddilynasant ar ol Saul i'r rhyfel: ac enw ei
dri mab ef, y rhai a aethant i'r rhyfel, *oedd*
Eliab y cyntaf-anedig, ac Abinadab yr ail,
a Sammah y trydydd.

14 A Dafydd *oedd* ieuangaf: a'r tri hynaf
a aeth ar ol Saul.
15 Dafydd hefyd a aeth ac a ddychwelodd
oddi wrth Saul, e i fugeilio defaid ei dad yn e Pen. 16. 19.
Bethlehem.
16 A'r Philistiad a nesaodd fore a hwyr,
ac a ymddangosodd ddeugain niwrnod.
17 A dywedodd Jesse wrth Ddafydd ei
fab, Cymmer yn awr i'th frodyr ephah o'r
cras-*yd* hwn, a'r deg torth hyn, ac ar redeg
dwg *hwynt* i'r gwersyll at dy frodyr.
18 Dwg hefyd y deg cosyn § ir hyn i dy- § Heb. *llaeth.*
wysog y mil, ac ymwel â'th frodyr a ydynt
hwy yn iach, a gollwng *yn rhydd* eu gwystl
hwynt.
19 Yna Saul, a hwythau, a holl wŷr Is-
rael, *oeddynt* yn nyffryn Elah, yn ymladd â'r
Philistiaid.
20 ¶ A Dafydd a gyfododd yn fore, ac a
adawodd y defaid gyd â cheidwad, ac a
gymmerth, ac a aeth, megis y gorchymyn-
asai Jesse iddo ef; ac efe a ddaeth i'r gwer-
syll, a'r llu yn myned allan i'r ‖ gâd, ac yn ‖ Neu, *ymladdle.*
bloeddio i'r frwydr.
21 Canys Israel a'r Philistiaid a ymfy-
ddinasent, fyddin yn erbyn byddin.
22 A Dafydd a adawodd y † mud oddi † Heb. *llestri.*
wrtho dan law ceidwad y dodrefn, ac a
redodd i'r llu, ac a ddaeth, ac a gyfarchodd
well i'w frodyr.
23 A thra'r oedd efe yn ymddiddan â
hwynt, wele'r gwr (*oedd yn sefyll* rhwng
y ddeulu) yn dyfod i fynu o fyddinoedd y
Philistiaid (Goliath y Philistiad o Gath *wrth*
ei enw) ac efe a ddywedodd yr un fath ei-
riau, fel y clybu Dafydd.
24 A holl wŷr Israel, pan welsant y gwr
hwnnw, a ffoisant ‡ rhagddo ef, ac a ofn- ‡ Heb. *rhag ei wyneb ef.*
asant yn ddirfawr.
25 A dywedodd gwŷr Israel, Oni wel-
soch chwi y gwr hwn a ddaeth i fynu?
dïau i waradwyddo Israel y mae yn dyfod
i fynu: a'r gwr a'i lladdo ef, y brenhin a
gyfoethoga hwnnw â chyfoeth mawr; f ei f Jos. 15. 16.
ferch hefyd a rydd efe iddo ef; a thŷ ei dad
ef a wna efe yn rhŷdd yn Israel.
26 A Dafydd a lefarodd wrth y gwŷr
oedd yn sefyll yn ei ymyl, gan ddywedyd,
Beth a wneir i'r gwr a laddo'r Philistiad
hwn, ac a dynno ymaith y gwaradwydd
oddi ar Israel? canys pwy *yw*'r Philistiad
dïenwaededig hwn, pan waradwyddai efe
fyddinoedd y Duw byw?
27 A'r bobl a ddywedodd wrtho ef fel
hyn, gan ddywedyd, Felly y gwneir i'r gwr
a'i lladdo ef.
28 ¶ Ac Eliab, ei frawd hynaf, a'i clybu
pan oedd efe yn ymddiddan â'r gwŷr: a
digter Eliab a ennynodd yn erbyn Dafydd; ac
efe a ddywedodd, Pa ham y daethost i wared
yma? a chyd â phwy y gadewaist yr ychydig
ddefaid hynny yn yr anialwch? Myfi a ad-
waen dy falchder di, a drygioni dy galon:
canys i weled y rhyfel y daethost ti i wared.
29 A dywedodd Dafydd, Beth a wneu-
thum i yn awr? Onid *oes* achos?
30 ¶ Ac efe a droes oddi wrtho ef at un
arall, ac a ddywedodd yr un § modd: a'r bobl § Heb. *gair.*
a'i hattebasant ef air yngair *fel* o'r blaen.
31 A phan glybuwyd y geiriau a lefarodd
Dafydd, yna y mynegwyd *hwynt* ger bron
Saul: ac efe ‖ a anfonodd am dano ef. ‖ Heb. *a'i cymmerth ef.*
32 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrth Saul,
Na lwfrhâed calon neb o'i herwydd ef: dy
was di a â ac a ymladd â'r Philistiad hwn.
33 A dywedodd Saul wrth Ddafydd, Ni

elli di fyned yn erbyn y Philistiad hwn, i ymladd ag ef: canys llangc *ydwyt* ti, ac yntau *sydd* yn rhyfelwr o'i febyd.

34 A Dafydd a ddywedodd wrth Saul, Bugail oedd dy was di ar ddefaid ei dad; a daeth llew ac arth, ac a gymmerasant † oen o'r praidd.

† Neu, *fynn.*

35 A mi a euthum ar ei ol ef, ac a'i tarewais ef, ac a'i hachubais o'i safn ef: a phan gyfododd efe i'm herbyn i, mi a ymaflais yn ei farf ef, ac a'i tarewais, ac a'i lleddais ef.

36 Felly dy was di a laddodd y llew, a'r arth: a'r Philistiad dïenwaededig hwn fydd megis un o honynt, gan iddo ammherchi byddinoedd y Duw byw.

37 Dywedodd Dafydd hefyd, Yr Arglwydd, yr hwn a'm hachubodd i o grafangc y llew, ac o balf yr arth, efe a'm hachub i o law'r Philistiad hwn. A dywedodd Saul wrth Ddafydd, Dos, a'r Arglwydd fyddo gyd â thi.

38 ¶ A Saul a wisgodd Ddafydd â'i ‡ arfau ei hun, ac a roddodd helm o bres ar ei ben ef, ac a'i gwisgodd ef *mewn* llurig.

‡ Heb. *ddillad.*

39 A Dafydd a wregysodd ei gleddyf ar ei arfau, ac a geisiodd gerdded; am na phrofasai efe. A dywedodd Dafydd wrth Saul, Ni allaf gerdded yn y rhai hyn: canys ni phrofais i. A Dafydd a'u dïosgodd oddi am dano.

40 Ac efe a gymmerth ei ffon yn ei law, ac a ddewisodd iddo bump o gerrig llyfnion o'r § afon, ac a'u gosododd hwynt ‖ ynghôd y bugeiliaid yr hon *oedd* ganddo, sef yn yr ysgreppan; a'i ffon dafl *oedd* yn ei law: ac efe a nesaodd at y Philistiad.

§ Neu, *dyffryn.*
‖ Heb. *yn llestr.*

41 A'r Philistiad a gerddodd, gan fyned a neshau at Ddafydd; a'r gwr *oedd* yn dwyn y darian o'i flaen ef.

42 A phan edrychodd y Philistiad o amgylch, a chanfod Dafydd, efe a'i dïystyrodd ef: canys llangc oedd efe, a gwridgoch, a theg yr olwg.

43 A'r Philistiad a ddywedodd wrth Ddafydd, Ai ci *ydwyf* fi, gan dy fod yn dyfod attaf fi â ffyn? A'r Philistiad a regodd Ddafydd trwy ei dduwiau ef.

44 Y Philistiad hefyd a ddywedodd wrth Ddafydd, Tyred attaf fi, a rhoddaf dy gnawd i ehediaid y nefoedd, ac i anifeiliaid y maes.

45 Yna y dywedodd Dafydd wrth y Philistiad, Ti ydwyt yn dyfod attaf fi â chleddyf, ac â gwaywffon, ac â tharian; a minnau 'ydwyf yn dyfod attat ti yn enw Arglwydd y lluoedd, Duw byddinoedd Israel, yr hwn a geblaist ti.

46 Y dydd hwn y † dyry'r Arglwydd dydi yn fy llaw i, a mi a'th darawaf di, ac a gymmeraf ymaith dy ben oddi arnat; ac a roddaf gelanedd gwersyll y Philistiaid y dydd hwn i ehediaid y nefoedd, ac i fwystfilod y ddaear; fel y gwypo'r holl ddaear fod Duw yn Israel.

† Heb. *cau.*

47 A'r holl gynnulleidfa hon a gânt wybod, nad â chleddyf, nac â gwaywffon y gwared yr Arglwydd (canys eiddo'r Arglwydd *yw* y rhyfel) ac efe a'ch rhydd chwi yn ein llaw ni.

48 A phan gyfododd y Philistiad, a dyfod a nesâu i gyfarfod Dafydd; yna y brysiodd Dafydd, ac a redodd tu a'r fyddin i gyfarfod â'r Philistiad.

49 A Dafydd a estynodd ei law i'r gôd, ac a gymmerth oddi yno garreg, ac a daflodd, ac a darawodd y Philistiad yn ei dalcen: a'r garreg a soddodd yn ei dalcen ef; ac efe a syrthiodd i lawr ar ei wyneb.

50 Felly ᵃ y gorthrechodd Dafydd y Philistiad â ffon dafl ac â charreg, ac a darawodd y Philistiad, ac a'i lladdodd ef; er nad *oedd* cleddyf yn llaw Dafydd.

ᵃ Eccl. 47. 4. 1 Mac. 4. 30.

51 Yna y rhedodd Dafydd, ac a safodd ar y Philistiad, ac a gymmerth ei gleddyf ef, ac a'i tynnodd o'r wain, ac a'i lladdodd ef, ac a dorrodd ei ben ef ag ef. A phan welodd y Philistiaid farw o'u cawr hwynt, hwy a ffoisant.

52 A gwŷr Israel a Judah a gyfodasant, ac a floeddiasant; ac a erlidiasant y Philistiaid, hyd *y ffordd* y delych i'r dyffryn, a hyd byrth Ecron. A'r Philistiaid a syrthiasant yn archolledig ar hŷd ffordd Saaraim, sef hyd Gath, a hyd Ecron.

53 A meibion Israel a ddychwelasant o ymlid ar ol y Philistiaid, ac a anrheithiasant eu gwersylloedd hwynt.

54 A Dafydd a gymmerodd ben y Philistiad, ac a'i dug i Jerusalem; a'i arfau ef a osododd efe yn ei babell.

55 ¶ A phan welodd Saul Ddafydd yn myned i gyfarfod â'r Philistiad, efe a ddywedodd wrth Abner, tywysog y filwriaeth, Mab i bwy *yw*'r llangc hwn, Abner? Ac Abner a ddywedodd, *Fel y* mae'n fyw dy enaid, O frenhin, ni's gwn i.

56 A dywedodd y brenhin, Ymofyn mab i bwy *yw*'r gwr ieuangc hwn.

57 A phan ddychwelodd Dafydd o ladd y Philistiad, Abner a'i cymmerodd ef ac a'i dug o flaen Saul, a phen y Philistiad yn ei law.

58 A Saul a ddywedodd wrtho ef, Mab i bwy *wyt* ti, y gwr ieuangc? A dywedodd Dafydd, Mab i'th was Jesse y Bethlehemiad.

## PEN. XVIII.

1 *Jonathan yn caru Dafydd.* 5 *Saul yn cyn-* Ebrill 7. P.
*figennu wrth ei glod ef;* 10 *yn ceisio ei ladd*
*ef yn ei gynddaredd;* 12 *yn ei ofni ef, o*
*herwydd ei fod mor llwyddiannus;* 17 *yn*
*cynnyg iddo ei ferched, i fod yn fagl iddo.*
22 *Dafydd, wedi ei berswadio i fod yn fab*
*ynghyfraith i'r brenhin, yn rhoddi deucant*
*o flaen-grwyn y Philistiaid yn lle cynhysgaeth Michal.* 28 *Digasedd Saul, a gogoniant Dafydd, yn cynnyddu.*

AC wedi darfod iddo ymddiddan â Saul, ᵃ enaid Jonathan a ymglymmodd wrth enaid Dafydd; a Jonathan a'i carodd ef megis ei enaid ei hun.

Cylch 1063.
ᵃ Gen. 44. 30.

2 A Saul a'i cymmerth ef *atto* y diwrnod hwnnw, ac ni adawai ᵇ iddo ddychwelyd i dŷ ei dad.

ᵇ Pen. 17. 15.

3 Yna Jonathan a Dafydd a wnaethant gyfammod; o herwydd efe a'i carai megis ei enaid ei hun.

4 A Jonathan a ddïosgodd y fantell *oedd* am dano ei hun, ac a'i rhoddes i Ddafydd, a'i wisgoedd, ïe hyd yn oed ei gleddyf, a'i fwa, a'i wregys.

5 ¶ A Dafydd a aeth i ba *le* bynnag yr anfonodd Saul ef, *ac* a † ymddûg yn ddoeth. A Saul a'i gosododd ef ar y rhyfelwŷr; ac efe oedd gymmeradwy yngolwg yr holl bobl, ac yngolwg gweision Saul hefyd.

† Neu, *lwyddodd.*

6 A bu (wrth ddyfod o honynt) pan ddychwelodd Dafydd o ladd y Philistiad, ddyfod o'r ᶜ gwragedd allan o holl ddinasoedd Israel, dan ganu a dawnsio, i gyfarfod â'r brenhin Saul, â thympanau, â gorfoledd, ac ag *offer* cerdd ‡ dannau.

ᶜ Exod. 15. 20.
‡ Heb. *tri-thant.*

7 A'r gwragedd wrth ganu a ymattebent,

d Pen. 21. ac a ddywedent, [d] Lladdodd Saul ei filoedd,
11. a 29. 5. a Dafydd ei fyrddiwn.
Eccles. 47. 8 A digiodd Saul yn ddirfawr, a'r ym-
6. adrodd hwn oedd ddrwg yn ei olwg ef; ac
efe a ddywedodd, Rhoddasant i Ddafydd
fyrddiwn, ac i mi y rhoddasant filoedd: *beth*
mwy *a roddent* iddo ef, ond y frenhiniaeth?
9 A bu Saul â'i lygad ar Ddafydd o'r
dydd hwnnw allan.
e Pen. 16. 10 ¶ Bu hefyd drannoeth, i'r [e] drwg
14. yspryd oddi wrth DDUW ddyfod ar Saul; ac
efe a brophwydodd ynghanol y tŷ: a Da-
fydd a ganodd â'i law, fel o'r blaen: a
gwaywffon *oedd* yn llaw Saul.
11 A Saul a daflodd y waywffon; ac a
ddywedodd, Tarawaf trwy Ddafydd yn y
pared. A Dafydd a giliodd ddwywaith o'i
ŵydd ef.
12 ¶ A Saul oedd yn ofni Dafydd; o
herwydd bod yr ARGLWYDD gyd ag ef, a
chilio o hono oddi wrth Saul.
13 Am hynny Saul a'i gyrrodd ef ymaith
oddi wrtho, ac a'i gosododd ef yn dywysog
f Adn. 16. *ar* fil: ac [f] efe a aeth i mewn ac allan o flaen
2 Sam. 5. 2. y bobl.
† Neu, 14 A Dafydd a † ymddûg yn ddoeth yn ei
lwyddodd. holl ffyrdd; a'r ARGLWYDD *oedd* gyd ag ef.
15 A phan welodd Saul ei fod ef yn
ddoeth iawn, efe a'i hofnodd ef.
16 Eithr holl Israel a Judah a garodd
Ddafydd, am ei fod ef yn myned i mewn ac
allan o'u blaen hwynt.
17 ¶ A dywedodd Saul wrth Ddafydd,
Wele, Merab fy merch hynaf, hi a roddaf fi i
ti yn wraig: yn unig bydd i mi yn fab nerth-
ol, ac ymladd ryfeloedd yr ARGLWYDD.
(Canys dywedasai Saul, Ni bydd fy llaw i
arno ef, ond llaw'r Philistiaid fydd arno ef.)
18 A Dafydd a ddywedodd wrth Saul,
Pwy *ydwyf* fi? a pheth *yw* fy mywyd, *neu*
dylwyth fy nhad i yn Israel, fel y byddwn
‡ *fab yn-* yn ‡ ddaw i'r brenhin?
*ghyfraith.* 19 Eithr yn yr amser *y dylesid* rhoddi
Merab merch Saul i Ddafydd, hi a roddwyd
g Pen. 21. i [g] Adriel y Meholathiad yn wraig.
8. 20 A Michal merch Saul a garodd Dda-
fydd: a mynegasant *hynny* i Saul; a'r peth
§ Heb. fu § foddlon ganddo.
*union yn* 21 A dywedodd Saul, Rhoddaf hi iddo ef,
*ei olwg ef.* fel y byddo hi iddo 'n fagl, ac y byddo llaw y
Philistiaid yn ei erbyn ef. Felly Saul a ddy-
wedodd wrth Ddafydd, Trwy *un* o'r ddwy y
h Edrych byddi fab ynghyfraith i mi [h] heddyw.
Adn. 26. 22 ¶ A Saul a orchymynodd i'w weision
*fel hyn;* Ymddiddenwch â Dafydd yn ddir-
gel, gan ddywedyd, Wele, y brenhin sydd
hoff ganddo dydi, a'i holl weision ef a'th
garant di: yn awr gan hynny ymgyfa-
thracha â'r brenhin.
23 A gweision Saul a adroddasant wrth
Ddafydd y geiriau hyn. A Dafydd a ddy-
wedodd, Ai ysgafn *yw* yn eich golwg chwi
ymgyfathrachu â brenhin, a minnau yn wr
tlawd a gwael?
24 A gweision Saul a fynegasant iddo, gan
‖ Heb. ddywedyd, ‖ Fel hyn y llefarodd Dafydd.
*Yn ol y gei-* 25 A dywedodd Saul, Fel hyn y dy-
*riau hyn.* wedwch wrth Ddafydd; Nid yw'r brenhin
yn ewyllysio cynhysgaeth, ond *cael* cant o
flaen-grwyn y Philistiaid, i ddïal ar elynion
y brenhin. Ond Saul oedd yn meddwl peri
lladd Dafydd trwy law 'r Philistiaid.
26 A'i weision ef a fynegasant i Ddafydd
† Heb. y geiriau hyn; a'r ymadrodd fu foddlon gan
*chyflawn-* Ddafydd am ymgyfathrachu â'r brenhin; ac
*wyd y dyd-* ni † ddaethai yr amser etto.
*diau.*

27 Am hynny y cyfododd Dafydd, ac efe
a aeth a'i wŷr, ac a darawodd ddau can-
nwr o'r Philistiaid; a [i] Dafydd a ddygodd i 2 Sam. 3.
eu blaen-grwyn hwynt, a hwy a'u cwbl- 14.
dalasant i'r brenhin, i ymgyfathrachu o
hono ef â'r brenhin. A Saul a roddodd Mi-
chal ei ferch yn wraig iddo ef.
28 ¶ A Saul a welodd ac a wybu *fod* yr
ARGLWYDD gyd â Dafydd, a *bod* Michal
merch Saul yn ei garu ef.
29 A Saul oedd yn ofni Dafydd yn fwy
etto: a bu Saul yn elyn i Ddafydd byth.
30 Yna tywysogion y Philistiaid a aent
allan: a phan elent hwy, Dafydd a fyddai
ddoethach na holl weision Saul; a'i enw ef ‡ Neu,
a aeth yn ‡ anrhydeddus iawn. *werth-*
*fawr.*

## PEN. XIX.

1 *Jonathan yn datguddio amcan ei dad am* Dydd
*ladd Dafydd;* 4 *ac yn annog ei dad i gym-* Mawrth
*modi ag ef.* 8 *Maleisus gynddaredd Saul* Sulgwyn,
*yn torri allan yn ei byn Dafydd, o herwydd* B. gwers
*ei lwyddiant ef mewn rhyfel newydd.* 12 18 allan.
*Michal yn siommi ei thad â delw yngwely* Ebrill 8. B.
*Dafydd.* 18 *Dafydd yn dyfod at Samuel*
*yn Naioth.* 20 *Saul yn danfon cenhadau i*
*ddal Dafydd,* 22 *a Saul ei hun, yn pro-*
*phwydo.*

A Saul a ddywedodd wrth Jonathan ei fab, Cylch
ac wrth ei holl weision, am ladd Dafydd. 1063.
2 Ond Jonathan mab Saul oedd hoff
iawn ganddo Ddafydd. A mynegodd Jo-
nathan i Ddafydd, gan ddywedyd, Saul fy
nhad sy'n ceisio dy ladd di: ac yn awr ym-
gadw, attolwg, hyd y bore, ac aros mewn *lle*
dirgel, ac ymguddia:
3 A mi a af allan, ac a safaf ger llaw
fy nhad yn y maes *y byddych* di ynddo,
a mi a ymddiddanaf â'm tad o'th blegid
di; a hyn a welwyf, mi a'i mynegaf i ti.
4 ¶ A Jonathan a ddywedodd yn dda
am Ddafydd wrth Saul ei dad, ac a ddy-
wedodd wrtho, Na phechod y brenhin yn
erbyn ei was, yn erbyn Dafydd: o he-
rwydd ni phechodd efe i'th erbyn di, ac o
herwydd *bod* ei weithredoedd ef yn dda
iawn i ti.
5 Canys efe a osododd ei [a] einioes yn ei a Barn. 9.
law, ac a darawodd y Philistiad; a'r AR- 17. a 12. 3.
GLWYDD a wnaeth iachawdwriaeth mawr Pen. 28. 21.
i holl Israel: ti a'i gwelaist, ac a lawen- Psal. 119.
ychaist: pa ham, gan hynny, y pechi yn er- 109.
byn gwaed gwirion, gan ladd Dafydd yn
ddïachos?
6 A Saul a wrandawodd ar lais Jonathan;
a Saul a dyngodd, *Fel mai* byw 'r AR-
GLWYDD, ni leddir ef.
7 A Jonathan a alwodd ar Ddafydd; a
Jonathan a fynegodd iddo ef yr holl
eiriau hyn. A Jonathan a ddug Ddafydd
at Saul; ac efe a fu ger ei fron ef megis
† cynt. † Heb.
8 A bu 'chwaneg o ryfel: a Dafydd a *doe ac*
aeth allan, ac a ymladdodd yn erbyn y *echdoe.*
Philistiaid, ac a'u tarawodd hwynt â Cylch
lladdfa fawr; a hwy a ffoisant ‡ rhagddo 1062.
ef. ‡ Heb.
9 A'r [b] drwg yspryd oddi wrth yr AR- *rhag ei*
GLWYDD oedd ar Saul, pan oedd efe yn *wyneb ef.*
eistedd yn ei dŷ â'i waywffon yn ei law: a b Pen. 16.
Dafydd *oedd* yn canu â'i law. 14. a 18. 10.
10 A cheisiodd Saul daro â'i waywffon
trwy Ddafydd, yn y pared: ond efe a gil-
iodd o ŵydd Saul; ac yntau a darawodd y
waywffon yn y pared. A Dafydd a ffodd,
ac a ddïangodd y nos honno.

c Psal. 59. 11.

11 c Saul hefyd a anfonodd genhadau i dŷ Ddafydd, i'w wylied ef, ac i'w ladd ef y bore: a Michal ei wraig a fynegodd i Ddafydd, gan ddywedyd, Onid achubi dy einioes heno, y foru y'th leddir.

12 ¶ Felly Michal a ollyngodd Ddafydd i lawr trwy ffenestr: ac efe a aeth, ac a ffodd, ac a ddïangodd.

13 A Michal a gymmerodd ddelw, ac a'i gosododd yn y gwely; a chlustog o *flew* geifr a osododd hi yn obennydd iddi, ac a'i gorchuddiodd â dillad.

14 A phan anfonodd Saul genhadau i ddala Dafydd, hi a ddywedodd, Y *mae* efe yn glaf.

15 A Saul a anfonodd *eilwaith* genhadau i edrych Dafydd, gan ddywedyd, Dygwch ef i fynu attaf fi yn ei wely, fel y lladdwyf ef.

16 A phan ddaeth y cenhadau, wele 'r ddelw ar y gwely, a chlustog o *flew* geifr yn obennydd iddi.

17 A dywedodd Saul wrth Michal, Pa ham y twyllaist fi fel hyn, ac y gollyngaist fy ngelyn i ddïangc? A Michal a ddywedodd wrth Saul, Efe a ddywedodd wrthyf, Gollwng fi; onid ê, mi a'th laddaf di.

18 ¶ Felly Dafydd a ffodd, ac a ddïangodd, ac a ddaeth at Samuel i Ramah; ac a fynegodd iddo yr hyn oll a wnaethai Saul iddo ef. Ac efe a aeth at Samuel, a hwy a drigasant yn Naioth.

19 A mynegwyd i Saul, gan ddywedyd, Wele, *y mae* Dafydd yn Naioth o fewn Ramah.

d Edrych Ioan 7. 32, 45, &c. 1 Cor. 14. 3, 24, 25. † Pen. 10. 5. e Num. 11. 25.

20 A d Saul a anfonodd genhadau i ddala Dafydd. † A phan welsant gynnulleidfa'r prophwydi yn prophwydo, a Samuel yn sefyll wedi ei osod arnynt hwy, yr oedd ar genhadau Saul ysbryd Duw, fel e y prophwydasant hwythau hefyd.

21 A phan fynegwyd *hyn* i Saul, efe a anfonodd genhadau eraill; a hwythau hefyd a brophwydasant. A thrachefn danfonodd Saul genhadau y drydedd waith; a phrophwydasant hwythau hefyd.

22 Yna yntau hefyd a aeth i Ramah; ac a ddaeth hyd y ffynnon fawr *sydd* yn Sechu: ac efe a ofynodd, ac a ddywedodd, Pa le *y mae* Samuel a Dafydd? Ac *un* a ddywedodd, Wele, *y maent* yn Naioth o fewn Ramah.

23 Ac efe a aeth yno i Naioth yn Ramah. Ac arno yntau hefyd y daeth ysbryd Duw; a chan fyned yr aeth ac y prophwydodd, nes ei ddyfod i Naioth yn Ramah.

f Esay 20. 2. Mic. 1. 8. g Pen. 10. 11.

24 Ac efe a ddïosgodd ei ddillad, ac a brophwydodd hefyd ger bron Samuel; ac a syrthiodd i lawr f yn noeth yr holl ddiwrnod hwnnw, a'r holl nos. Am hynny y dywedent, g *A ydyw* Saul hefyd ym mysg y prophwydi?

## PEN. XX.

Ebrill 8. P.

1 *Dafydd yn ymgynghori â Jonathan am ei ddïogelwch.* 11 *Jonathan a Dafydd yn adnewyddu eu cyfammod trwy lw.* 18 *Arwydd Jonathan i Ddafydd.* 24 *Saul, eisiau cael gafael ar Ddafydd, yn ceisio lladd Jonathan.* 35 *Jonathan yn gariadus yn canu'n iach i Ddafydd.*

Cylch. 1062.

A Dafydd a ffodd o Naioth yn Ramah; ac a ddaeth, ac a ddywedodd ger bron Jonathan, Beth a wneuthum i? beth *yw* fy anwiredd? a pheth *yw* fy mhechod o flaen dy dad di, gan ei fod efe yn ceisio fy einioes i?

2 Ac efe a ddywedodd wrtho, Na atto Duw; ni byddi farw: wele, ni wna fy nhad ddim, na mawr na bychan, heb ei fynegi i mi: pa ham gan hynny y celai fy nhad y peth hyn oddi wrthyf fi? Nid *felly y mae.*

3 A Dafydd a dyngodd eilwaith, ac a ddywedodd, Dy dad a ŵyr yn hyspys i mi gael ffafr yn dy olwg di; am hynny y dywed, Na chaed Jonathan wybod hyn, rhag ei dristâu ef: cyn wired a bod yr Arglwydd yn fyw, a'th enaid dithau yn fyw, *nid oes* ond megis cam rhyngof fi ac angau.

4 Yna y dywedodd Jonathan wrth Ddafydd, Dywed beth *yw* dy ewyllys, a mi a'i cwblhâf i ti.

5 A Dafydd a ddywedodd wrth Jonathan, Wele, *y dydd cyntaf* o'r mis *yw* y foru, a minnau gan eistedd a ddylwn eistedd gyd â'r brenhin i fwytta: ond gollwng fi, fel yr ymguddiwyf yn y maes hyd brydnawn y trydydd *dydd.*

6 Os dy dad a ymofyn yn fanwl am danaf; yna dywed, Dafydd gan ofyn a ofynodd *gennad* gennyf fi, i redeg i Bethlehem, ei ddinas ei hun: canys † aberth blynyddol *sydd* yno i'r holl genedl. † *gwledd.*

7 a Os fel hyn y dywed efe, Da; heddwch *fydd* i'th was: ond os gan ddigio y digia efe, gwybydd fod ei fryd ef ar ddrwg. a Edrych Gen. 24. 14.

8 Gwna gan hynny drugaredd â'th was; canys b i gyfammod yr Arglwydd y dygaist dy was gyd â thi: ac od oes anwiredd ynof fi, lladd di fi; canys i ba beth y dygi fi at dy dad? b Pen. 18. 3. a 23. 18.

9 A dywedodd Jonathan, Na atto Duw *hynny* i ti: canys, os gan wybod y cawn wybod fod malais wedi ei barottôi gan fy nhad i ddyfod i'th erbyn, oni's mynegwn i ti?

10 A Dafydd a ddywedodd wrth Jonathan, Pwy a fynega i mi? neu beth os dy dad a'th ettyb yn arw?

11 ¶ A dywedodd Jonathan wrth Ddafydd, Tyred, ac awn i'r maes. A hwy a aethant ill dau i'r maes.

12 A Jonathan a ddywedodd wrth Ddafydd, Oh Arglwydd Dduw Israel, wedi i mi chwilio *meddwl* fy nhad, ynghylch y pryd *hyn* y foru, *neu* drennydd; ac wele, *os* daioni *fydd* tu ag at Ddafydd, ac oni anfonaf yna attat ti, ‡ a'i fynegi i ti; ‡ Heb. *a ddatguddio dy glust.*

13 c Fel hyn y gwnel yr Arglwydd i Jonathan, ac ychwaneg: os da fydd gan fy nhad *wneuthur* drwg i ti; yna y mynegaf it', ac a'th ollyngaf ymaith, fel yr elech mewn heddwch: a bydded yr Arglwydd gyd â thi, megis y bu gyd â'm tad i. c Ruth 1. 17.

14 Ac nid yn unig tra fyddwyf fi byw, y gwnai drugaredd yr Arglwydd â mi, fel na byddwyf fi marw:

15 Ond *hefyd* d na thor ymaith dy drugaredd oddi wrth fy nhŷ i byth; na chwaith pan ddistrywio 'r Arglwydd elynion Dafydd, bob un oddi ar wyneb y ddaear. d 2 Sam. 9. 3. a 21. 7.

16 Felly *y cyfammododd* Jonathan â thŷ Dafydd; *ac efe a ddywedodd,* e Gofyned yr Arglwydd *hyn* ar law gelynion Dafydd. e Edrych Pen. 31. 2. 2 Sam. 4. 7. a 21. 8.

17 A Jonathan a wnaeth i Ddafydd yntau dyngu, o herwydd efe a'i carai ef: canys fel y carai ei enaid ei hun, y carai efe ef.

18 A Jonathan a ddywedodd wrtho ef, f Y foru *yw'r dydd cyntaf* o'r mis: ac ym- f Adn. 5.

ofynir am danat; o herwydd fe fydd dy eisteddle yn wag.

19 Ac wedi i ti aros dridiau, *yna* tyred i wared yn † fuan; a thyred i'r [g] lle yr ymguddiaist ynddo ‡ pan oedd y peth *ar waith*, ac aros wrth faen Ezel.

† Neu, *ddirfawr*. Heb. *fawr*.
[g] Pen. 19. 2.
‡ Heb. *yn nydd y gwaith*.

20 A mi a saethaf dair o saethau tu a'i ystlys *ef*, fel pes gollyngwn *hwynt* at nôd.

21 Wele *hefyd*, mi a anfonaf langc, *gan ddywedyd*, Dos, cais y saethau. Os gan ddywedyd y dywedaf wrth y llangc, Wele, y saethau o'r tu yma i ti, dwg hwynt; yna tyred di: canys heddwch *sydd* i ti, ac nid *oes* dim *niweid*, *fel mai* byw yw'r ARGLWYDD.

22 Ond os fel hyn y dywedaf wrth y llangc, Wele, y saethau o'r tu hwnt i ti; dos ymaith: canys yr ARGLWYDD a'th anfonodd ymaith.

23 Ac *am* [h] y peth a leferais i, mi a thi, wele'r ARGLWYDD *fyddo* rhyngof fi a thi yn dragywydd.

[h] Adn. 14, 15. Edrych Adn. 42.

24 ¶ Felly Dafydd a ymguddiodd yn y maes. A phan ddaeth y dydd cyntaf o'r mis, y brenhin a eisteddodd i fwytta bwyd.

25 A'r brenhin a eisteddodd ar ei eisteddfa, megis ar amseroedd eraill; *sef* ar yr eisteddfa wrth y pared: a Jonathan a gyfododd, ac Abner a eisteddodd wrth ystlys Saul; a lle Dafydd oedd wag.

26 Ac nid ynganodd Saul ddim y diwrnod hwnnw: canys meddyliodd *mai* damwain *oedd* hyn; nad *oedd* efe lân, a'i *fod* yn aflan.

27 A bu drannoeth, yr ail *dydd* o'r mis, fod lle Dafydd yn wag. A dywedodd Saul wrth Jonathan ei fab, Pa ham na ddaeth mab Jesse at y bwyd, na doe na heddyw?

28 A Jonathan a attebodd Saul, Dafydd gan ofyn a ofynodd i mi *am gael myned* hyd Bethlehem:

29 Ac efe a ddywedodd, Gollwng fi, attolwg; o herwydd i'n tylwyth ni *y mae* aberth yn y ddinas, a'm brawd yntau a archodd i mi *fod yno*: ac yn awr, o chefais ffafr yn dy olwg, gâd i mi fyned, attolwg, fel y gwelwyf fy mrodyr. O herwydd hyn, ni ddaeth efe i fwrdd y brenhin.

30 Yna y llidiodd digter Saul yn erbyn Jonathan; ac efe a ddywedodd wrtho, *Ti* fab § y gyndyn wrthnysig, oni wn i ti ddewis mab Jesse yn waradwydd it', ac yn gywilydd i noethder dy fam?

§ Neu, *cyndyn gwrthnysig*. Heb. *cyndyn wrthnysig-rwydd*.
‖ Heb. *mab angau yw efe*.

31 Canys tra fyddo mab Jesse yn fyw ar y ddaear, ni'th sicrhâir di na'th deyrnas: yn awr gan hynny anfon, a chyrch ef attaf; canys ‖ marw a gaiff efe.

32 A Jonathan a attebodd Saul ei dad, ac a ddywedodd wrtho, Pa ham y bydd efe marw? beth a wnaeth efe?

33 A Saul a ergydiodd waywffon atto ef, i'w daro ef. Wrth hyn y gwybu Jonathan *fod* ei dad ef wedi rhoi ei fryd ar ladd Dafydd.

34 Felly Jonathan a gyfododd oddi wrth y bwrdd mewn llid digllawn, ac ni fwyttaodd fwyd yr ail dydd o'r mis: canys drwg oedd gantho dros Ddafydd, o herwydd i'w dad ei waradwyddo ef.

35 ¶ A'r bore yr aeth Jonathan i'r maes erbyn yr amser a osodasai efe i Ddafydd, a bachgen bychan gyd ag ef.

36 Ac efe a ddywedodd wrth ei fachgen, Rhed, cais yn awr y saethau yr ydwyf fi yn eu saethu. *A'r* bachgen a redodd: yntau a saethodd saeth † y tu hwnt iddo ef.

† Heb. *i fyned drosto ef*.

37 A phan ddaeth y bachgen hyd y fan yr *oedd* y saeth a saethasai Jonathan, y llefodd Jonathan ar ol y bachgen, ac a ddywedodd, Onid *yw* y saeth o'r tu hwnt i ti?

38 A llefodd Jonathan ar ol y bachgen, Cyflymma, brysia, na saf. A bachgen Jonathan a gasglodd y saethau, ac a ddaeth at ei feistr.

39 A'r bachgen ni wyddai ddim: yn unig Jonathan a Dafydd a wyddent y peth.

40 A Jonathan a roddodd ei offer at ei fachgen, ac a ddywedodd wrtho, Dos, dwg *y rhai hyn* i'r ddinas.

41 ¶ *A'r* bachgen a aeth ymaith; a Dafydd a gyfododd oddi wrth y dehau, ac a syrthiodd i lawr ar ei wyneb, ac a ymgrymmodd dair gwaith. A hwy a gusanasant bob un eu gilydd, ac a wylasant y naill wrth y llall; a Dafydd a ragorodd.

42 A dywedodd Jonathan wrth Ddafydd, Dos mewn heddwch: yr hyn a dyngasom ni ein dau yn enw'r ARGLWYDD, gan ddywedyd, Yr ARGLWYDD fyddo rhyngof fi a thi, a rhwng fy had i a'th had dithau, *safed hynny* yn dragywydd. Ac efe a gyfododd ac a aeth ymaith: a Jonathan a aeth i'r ddinas.

## PEN. XXI.

1 *Dafydd yn Nob yn cael gan Ahimelech fara cyssegredig*, 7 *a Doeg yno yn bresennol.* 8 *Dafydd yn cymmeryd cleddyf Goliath*: 10 *yn cymmeryd arno ynfydu yn Gath.*

Ebrill 9. B.

Cylch 1062.

YNA y daeth Dafydd i Nob at [a] Ahimelech yr offeiriad. Ac Ahimelech a ddychrynodd wrth gyfarfod â Dafydd; ac a ddywedodd wrtho, Pa ham *yr ydwyt* ti yn unig, ac heb neb gyd â thi?

[a] A elwir *Abiathar*, Marc 2. 26.

2 A dywedodd Dafydd wrth Ahimelech yr offeiriad, Y brenhin a orchymynodd i mi beth, ac a ddywedodd wrthyf, Na chaed neb wybod dim o'r peth *am* yr hwn y'th anfonais, ac y gorchymynais i ti: a'r gweision a gyfarwyddais i i'r lle a'r lle.

3 Ac yn awr beth sydd dan dy law? dod *i mi* bùm *torth* yn fy llaw, neu'r *peth* sydd i'w gael.

4 A'r offeiriad a attebodd Ddafydd, ac a ddywedodd, Nid *oes* fara cyffredin dan fy llaw i; eithr y mae [b] bara cyssegredig: [c] os y llangciau a ymgadwasant o'r lleiaf oddi wrth wragedd.

[b] Exod. 25. 30. Lef. 24. 5. Mat. 12. 4.
[c] Exod. 19. 15. Zec. 7. 3.

5 A Dafydd a attebodd yr offeiriad, ac a ddywedodd wrtho, Diau attal gwragedd oddi wrthym ni er ys dau ddydd neu dri, er pan gychwynais i; llestri'r llangciau *hefyd* ydynt sanctaidd, a'r *bara* sydd megis cyffredin, † ie, pettai wedi ei gyssegru heddyw yn y llestr.

† Neu, *yn enwedig gan fod heddyw fara arall wedi ei gyssegru yn y llestr.*

6 Felly yr offeiriad [d] a roddodd iddo ef *y bara* sanctaidd: canys nid oedd yno fara, ond y bara gosod, [e] yr hwn a dynnasid ymaith oddi ger bron yr ARGLWYDD, i osod bara brwd yn y dydd y tynnid ef ymaith.

[d] Marc 2. 25. Luc 6. 3.
[e] Lef. 24. 8, 9.

7 Ac *yr oedd* yno y diwrnod hwnnw un o weision Saul yn aros ger bron yr ARGLWYDD, a'i enw [f] Doeg, o Edomiad, y pennaf o'r bugeiliaid *oedd* gan Saul.

[f] Psal. 52. tit.

8 ¶ A dywedodd Dafydd wrth Ahimelech, Onid oes yma dan dy law di waywffon, neu gleddyf? canys ni ddygais fy nghleddyf na'm harfau chwaith i'm llaw, o herwydd bod gorchymyn y brenhin ar ffrwst.

9 A dywedodd yr offeiriad, Cleddyf Goliath y Philistiad, yr hwn a leddaist ti yn [g] nyffryn Elah; wele ef wedi ei ohlygu mewn brethyn o'r tu ol i'r ephod: o chym-

[g] Pen. 17. 2, 50.

meri hwnnw i ti, cymmer; canys nid *oes*
yma yr un arall ond hwnnw. A Dafydd a
ddywedodd, Nid *oes* o fath hwnnw; dyro
ef i mi.
10 ¶ Dafydd hefyd a gyfododd, ac a ffodd
y dydd hwnnw rhag ofn Saul, ac a aeth at
† Neu, *Abimelech*, Psal. 34. tit. † Achis brenhin Gath.
11 A [h] gweision Achis a ddywedasant
wrtho ef, Onid hwn *yw* Dafydd brenhin y
h Psal. 56. tit. wlad? onid i hwn y canasant yn y dawns-
iau, gan ddywedyd, [i] Saul a laddodd ei
i Pen. 18. 7. a 29. 5. Eccl. 47. 6. filoedd, a Dafydd ei fyrddiwn?
12 A Dafydd a osododd y geiriau hynny
yn ei galon, ac a ofnodd yn ddirfawr rhag
Achis brenhin Gath.
k Psal. 34. tit. 13 Ac [k] efe a newidiodd ei wedd yn eu
golwg hwynt; ac a gymmerth arno ynfydu
rhwng eu dwylaw hwynt, ac a gripiodd
ddrysau 'r porth, ac a ollyngodd ei boeryn i
lawr ar ei farf.
14 Yna y dywedodd Achis wrth ei weis-
ion, Wele, gwelwch y gwr yn gwallgofi; pa
ham y dygasoch ef attaf fi?
15 Ai eisiau ynfydion sydd arnaf fi, pan
ddygasoch hwn i ynfydu o'm blaen i? a
gaiff hwn ddyfod i'm tŷ i?

## PEN. XXII.

Ebrill 9. P. 1 *Minteioedd yn cyrchu at Ddafydd, i*
*Adùlam. 3 Yntau ym Mispah yn gorchymyn*
*ei dad a'i fam i frenhin Moab: 5 ac wedi*
*cael rhybudd gan Gad, yn dyfod i Hareth.*
*6 Saul, wrth ei erlid ef, yn achwyn rhag*
*anffyddlondeb ei weision. 9 Doëg yn cy-*
*huddo Ahimelech. 11 Saul yn gorchymyn*
*lladd yr offeiriaid. 17 Y rhedegwŷr yn*
*naccâu; a Doëg yn gwneuthur ei orchymyn*
*ef. 20 Abïathar yn diangc, ac yn dwyn y*
*newyddion i Ddafydd.*

Cylch 1062. A Dafydd a aeth ymaith oddi yno, ac a
a Psal. 57. tit. a 142. tit. [a] ddïangodd i ogof Adùlam: a phan
glybu ei frodyr a holl dŷ ei dad ef *hynny*,
hwy a aethant i wared atto ef yno.
2 Ymgynhullodd hefyd atto ef bob gwr
† Heb. *iddo ddyledwr*. helbulus, a phob gwr *a oedd* † mewn dy-
lêd, a phob gwr ‡ cystuddiedig o feddwl; ac
‡ Heb. *chwerw ei enaid*. efe a fu yn dywysog arnynt hwy: ac yr
oedd gyd ag ef ynghylch pedwar cant o wŷr.
3 ¶ A Dafydd a aeth oddi yno i Mispah
Moab; ac a ddywedodd wrth frenhin Moab,
Deled, attolwg, fy nhad a'm mam *i aros*
gyd â chwi, hyd oni wypwyf beth a wnel
Duw i mi.
4 Ac efe a'u dug hwynt ger bron brenhin
Moab: ac arosasant gyd ag ef yr holl ddydd-
iau y bu Dafydd yn yr amddiffynfa.
b 2 Sam. 24. 11. 5 ¶ A [b] Gad y prophwyd a ddywedodd
1 Chron. 21. 9. a 29. 29. wrth Ddafydd, Nac aros yn yr amddiffynfa;
dos ymaith, a cherdda rhagot i wlad Judah.
2 Chron. 29. 25. Felly Dafydd a ymadawodd, ac a ddaeth i
goed Hareth.
6 ¶ A phan glybu Saul gael gwybodaeth
am Ddafydd, a'r gwŷr *oedd* gyd ag ef (a
§ Neu, *llwyn mewn uchelfa*. Saul oedd yn aros yn Gibeah dan § bren yn
Ramah, a'i waywffon yn ei law, a'i holl
weision yn sefyll o'i amgylch)
7 Yna Saul a ddywedodd wrth ei weision
oedd yn sefyll o'i amgylch, Clywch, at-
tolwg, feibion Jemini: A ddyry mab Jesse
i chwi oll feusydd, a gwinllannoedd? *a* esyd
efe chwi oll yn dywysogion ar filoedd, ac yn
dywysogion ar gannoedd;
8 Gan i chwi oll gyd-fwriadu i'm herbyn
i, ac nad *oes* a fynego i mi wneuthur o'm
mab i gyngrair â mab Jesse, ac nid *oes neb* o
honoch yn ddrwg gantho o'm plegid i, nac

yn datguddio ‖ i mi ddarfod i'm mab annog ‖ Heb. *fy nghlust* i.
fy ngwas i gynllwyn i'm herbyn, megis y
dydd hwn?
9 ¶ Yna yr attebodd [c] Doëg yr Edomiad c Pen. 21. 7.
(yr hwn oedd wedi ei osod ar weision Saul) Psal. 52. tit.
ac a ddywedodd, Gwelais fab Jesse yn dy-
fod i Nob at Ahimelech fab [d] Ahitub. d Pen. 14.
10 Ac efe a ymgynghorodd drosto ef â'r 3.
ARGLWYDD; ac [e] a roddes fwyd iddo ef; e Pen. 21.
cleddyf Golïath y Philistiad a roddes efe 6, 9.
*hefyd* iddo.
11 Yna 'r anfonodd y brenhin i alw Ahi-
melech yr offeiriad, mab Ahitub, a holl dŷ
ei dad ef, *sef* yr offeiriaid *oedd* yn Nob. A
hwy a ddaethant oll at y brenhin.
12 A Saul a ddywedodd, Gwrando yn
awr, mab Ahitub. Dywedodd yntau, Wele
fi, fy arglwydd.
13 A dywedodd Saul wrtho ef, Pa ham y
cyd-fwriadasoch i'm herbyn i, ti a mab Jesse,
gan it' roddi iddo fara, a chleddyf, ac ym-
gynghori â Duw drosto ef, fel y cyfodai yn
fy erbyn i gynllwyn, megis heddyw?
14 Ac Ahimelech a attebodd y brenhin,
ac a ddywedodd, Pwy ym mysg dy holl
weision di *sydd mor* ffyddlon a Dafydd, ac
yn ddaw i'r brenhin, ac yn myned wrth dy
orchymyn, ac yn anrhydeddus yn dy dŷ
di?
15 Ai 'r dydd *hwnnw* y dechreuais i ym-
gynghori â Duw drosto ef? na atto Duw i
mi. Na osoded y brenhin ddim yn erbyn ei
was, *nac* yn erbyn neb o dŷ fy nhad: canys
ni wybu dy was di ddim o hyn oll, *nac*
ychydig na llawer.
16 A dywedodd y brenhin, Gan farw y
byddi farw, Ahimelech, tydi a holl dŷ dy
dad.
17 ¶ A'r brenhin a ddywedodd wrth y
rhedegwŷr oedd yn sefyll o'i amgylch ef,
Trowch, a lleddwch offeiriaid yr AR-
GLWYDD; o herwydd bod eu llaw hwynt
hefyd gyd â Dafydd, ac o herwydd iddynt
wybod ffoi o hono ef, ac na fynegasant i mi.
Ond gweision y brenhin nid estynent eu
llaw i ruthro ar offeiriaid yr ARGLWYDD.
18 A dywedodd y brenhin wrth Ddoëg,
Tro di, a rhuthra ar yr offeiriaid. A Doëg
yr Edomiad a drodd, ac a ruthrodd ar yr
offeiriaid, ac [f] a laddodd y diwrnod hwnnw f Edrych
bump a phedwar ugain o wŷr, yn dwyn Pen. 2. 31.
ephod lïain.
19 Efe a darawodd hefyd Nob, dinas yr
offeiriaid, â min y cleddyf, yn wr ac yn
wraig, yn ddyn bach ac yn blentyn sugno,
ac yn ŷch, ac yn asyn, ac yn oen, â min y
cleddyf.
20 ¶ Ond un mab i Ahimelech fab Ahi-
tub, a'i enw Abïathar, a ddïangodd, ac [g] a g Pen. 23.
ffodd ar ol Dafydd. 6.
21 Ac Abïathar a fynegodd i Ddafydd,
ddarfod i Saul ladd offeiriaid yr AR-
GLWYDD.
22 A dywedodd Dafydd wrth Abïathar,
Gwybûm y dydd hwnnw, pan *oedd* Doëg
yr Edomiad yno, gan fynegi y mynegai efe
i Saul: myfi a fum achlysur *marwolaeth* i
holl dylwyth tŷ dy dad di.
23 Aros gyd â mi; nac ofna: canys yr
hwn sy'n ceisio fy einioes i, sy'n ceisio dy
einioes dithau: ond gyd â mi *y byddi* di
gadwedig.

## PEN. XXIII.

1 *Dafydd, wedi ymofyn â'r Arglwydd trwy* Ebrill
*Abïathar, yn gwaredu Ceilah: 7 a chwedi i* 10. B.
*Dduw ddangos iddo ddyfodiad Saul, a brad-*

*wriaeth y Ceiliaid, yn d'iangc o Ceilah. 14 Jonathan yn dyfod i Ziph, ac yn ei gysuro ef. 19 Y Ziphiaid yn dangos i Saul pa le'r oedd ef. 25 Yntau yn d'iangc rhag Saul ym Maon, trwy ddyfod o'r Philistiaid i'r wlad; 29 ac yn trigo yn En-gedi.*

Cylch 1062. YNA y mynegasant i Ddafydd, gan ddywedyd, Wele'r Philistiaid yn ymladd yn erbyn Ceilah; ac y maent hwy yn anrheithio 'r ysguboriau.

2 Am hynny y gofynodd Dafydd i'r ARGLWYDD, gan ddywedyd, A af fi a tharo'r Philistiaid hyn? A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Ddafydd, Dos, a tharo'r Philistiaid, ac achub Ceilah.

3 A gwŷr Dafydd a ddywedasant wrtho ef, Wele, ni yn ofnus yma yn Judah: pa faint mwy os awn i Ceilah, yn erbyn byddinoedd y Philistiaid?

4 Yna Dafydd eilwaith a ymgynghorodd â'r ARGLWYDD. A'r ARGLWYDD a'i attebodd ef, ac a ddywedodd, Cyfod, dos i wared i Ceilah: canys myfi a roddaf y Philistiaid yn dy law di.

5 A Dafydd a'i wŷr a aethant i Ceilah, ac a ymladdodd â'r Philistiaid; ac a ddug eu gwartheg hwynt, ac a'u tarawodd hwynt â lladdfa fawr. Felly y gwaredodd Dafydd drigolion Ceilah.

Cylch 1061. 6 A bu, pan [a] ffodd Abïathar mab Ahimelech at Ddafydd i Ceilah, ddwyn o hono ef ephod yn ei law.
[a] Pen. 22. 20.

7 ¶ A mynegwyd i Saul ddyfod Dafydd i Ceilah. A dywedodd Saul, Duw a'i rhoddodd ef yn fy llaw i: canys cauwyd arno ef pan ddaeth i ddinas â phyrth ac â barrau *iddi.*

8 A Saul a alwodd yr holl bobl ynghŷd i ryfel, i fyned i wared i Ceilah, i warchae ar Ddafydd ac ar ei wŷr.

9 ¶ A gwybu Dafydd fod Saul yn bwriadu drwg i'w erbyn ef: ac [b] efe a ddywedodd wrth Abïathar yr offeiriad, Dwg yr ephod.
[b] Num. 27. 21. Pen. 30. 7.

10 Yna y dywedodd Dafydd, O ARGLWYDD DDUW Israel, gan glywed y clybu dy was, fod Saul yn ceisio dyfod i Ceilah, i ddistrywio'r ddinas er fy mwyn i.

11 A ddyry arglwyddi Ceilah fi yn ei law ef? a ddaw Saul i wared, megis y clybu dy was? O ARGLWYDD DDUW Israel, mynega, attolwg, i'th was. A'r ARGLWYDD a ddywedodd, Efe a ddaw i wared.

12 Yna y dywedodd Dafydd, A † ddyry arglwyddi Ceilah fyfi a'm gwŷr yn llaw Saul? A'r ARGLWYDD a ddywedodd, Rhoddant.
† Heb. *gau.*

13 ¶ Yna y cyfododd Dafydd a'i wŷr, *y rhai oedd* ynghylch chwe chant, ac a aethant o Ceilah ac a rodiasant lle y gallent. A mynegwyd i Saul, fod Dafydd wedi dïangc o Ceilah; ac efe a beidiodd a myned allan.

14 A Dafydd a arhosodd yn yr anialwch mewn amddiffynfeydd, ac a arhôdd mewn mynydd, yn anialwch [c] Ziph: a Saul a'i ceisiodd ef bob dydd; ond ni roddodd Duw ef yn ei law ef.
[c] Jos. 15. 55.

15 A gwelodd Dafydd fod Saul wedi myned allan i geisio ei einioes ef: a Dafydd *oedd* yn anialwch Ziph, mewn coed.

16 A Jonathan mab Saul a gyfododd, ac a aeth at Ddafydd i'r coed; ac a gryfhaodd ei law ef yn Nuw.

17 Dywedodd hefyd wrtho ef, Nac ofna: canys llaw Saul fy nhad ni'th gaiff di; a thi a deyrnesi ar Israel, a minnau a fyddaf yn nesaf attat ti: a [d] Saul fy nhad *sydd* yn gwybod hyn hefyd.
[d] Pen. 24. 20.

18 A hwy ill dau a wnaethant gyfammod ger bron yr ARGLWYDD. A Dafydd a arhosodd yn y coed; a Jonathan a aeth i'w dŷ ei hun.

19 Yna [e] y daeth y Ziphiaid i fynu at Saul i Gibeah, gan ddywedyd, Onid yw Dafydd yn ymguddio gyd â ni mewn amddiffynfeydd yn y coed, ym mryn Hachilah, yr hwn *sydd* ‡ o'r tu dehau § i'r diffaethwch?
[e] Psal. 54. tit. Edrych Pen. 26. 1.
‡ Heb. *ar y llaw ddehau.*
§ *i Jesimon?*

20 Ac yn awr, O frenhin, tyred i wared yn ol holl ddymuniad dy galon; a *bydded* arnom ni ei roddi ef yn llaw y brenhin.

21 A dywedodd Saul, Bendigedig *fyddoch* chwi gan yr ARGLWYDD: canys tosturiasoch wrthyf.

22 Ewch, attolwg, parottôwch; *etto* mynnwch wybod hefyd, ac edrychwch am ei ‖ gynniweirfa ef, lle y mae efe yn tramwy, *a* phwy a'i gwelodd ef yno: canys dywedwyd i mi, ei fod ef yn gyfrwys iawn.
‖ Heb. *droed-le.*

23 Edrychwch gan hynny, a mynnwch wybod yr holl lochesau y mae efe yn ymguddio ynddynt, a dychwelwch attaf fi â sicrwydd, fel yr elwyf gyd â chwi: ac os bydd efe yn y wlad, mi a chwiliaf am dano ef trwy holl filoedd Judah.

24 A hwy a gyfodasant, ac a aethant i Ziph o flaen Saul: ond Dafydd a'i wŷr *oedd* yn anialwch [f] Maon, yn y rhos o'r tu dehau † i'r diffaethwch.
[f] Jos. 15. 55.
† *Jesimon.*

25 Saul hefyd a'i wŷr a aeth i'w geisio *ef.* A mynegwyd i Ddafydd: am hynny efe a ddaeth i wared i graig, ac a arhosodd yn anialwch Maon. A phan glybu Saul *hynny,* efe a erlidiodd ar ol Dafydd yn anialwch Maon.

26 A Saul a aeth o'r naill du i'r mynydd, a Dafydd a'i wŷr o'r tu arall i'r mynydd: ac yr oedd Dafydd yn brysio i fyned ymaith rhag ofn Saul; canys Saul a'i wŷr a amgylchynasant Ddafydd a'i wŷr, i'w dala hwynt.

27 ¶ [g] Ond cennad a ddaeth at Saul, gan ddywedyd, Brysia, a thyred: canys y Philistiaid a ymdaenasant ar hŷd y wlad.
[g] Edrych 2 Bren. 19. 9.

28 Am hynny y dychwelodd Saul o erlid ar ol Dafydd; ac efe a aeth yn erbyn y Philistiaid: o herwydd hynny y galwasant y fan honno ‡ Sela Hammah-lecoth.
‡ *Craig y gwahaniadau.*

29 ¶ A Dafydd a aeth i fynu oddi yno, ac a arhosodd yn amddiffynfeydd En-gedi.

## PEN. XXIV.

*1 Dafydd, mewn ogof yn En-gedi, yn torri cwrr mantell Saul, ac yn arbed ei einioes ef; 8 ac wrth hynny yn dangos ei ddiniweidrwydd. 16 Saul yn cydnabod â'i fai, ac yn cymmeryd llw gan Ddafydd, ac yn ymadael.* Ebrill 10. P.

A Phan ddychwelodd Saul oddi ar ol y Philistiaid, mynegwyd iddo, gan ddywedyd, Wele, Dafydd yn anialwch En-gedi. Cylch 1061.

2 Yna y cymmerth Saul dair mil o wŷr etholedig o holl Israel; ac efe a aeth i geisio Dafydd a'i wŷr, ar hŷd coppa creigiau'r geifr gwylltion.

3 Ac efe a ddaeth at gorlannau'r defaid, ar y ffordd; ac yno *yr oedd* ogof: a [a] Saul a aeth i mewn i wasanaethu ei gorph. A [b] Dafydd a'i wŷr oedd yn aros yn ystlysau'r ogof.
[a] Psal. 141. 6.
[b] Psal. 57. tit. a 142. tit.

4 A gwŷr Dafydd a ddywedasant wrtho ef, Wele'r dydd *am* yr hwn y dywedodd yr ARGLWYDD wrthyt, Wele, fi yn

rhoddi dy elyn yn dy law di, fel y gwnelych
iddo megis y byddo da yn dy olwg. Yna
Dafydd a gyfododd, ac a dorrodd gwrr y
fantell *oedd* am Saul yn ddirgel.
[c] 2 Sam. 24. 5 Ac wedi hyn [c] calon Dafydd a'i taraw-
10. odd ef, o herwydd iddo dorri cwrr *mantell*
Saul.
6 Ac efe a ddywedodd wrth ei wŷr, Na
atto'r ARGLWYDD i mi wneuthur y peth
hyn i'm meistr, enneiniog yr ARGLWYDD,
i estyn fy llaw yn ei erbyn ef; oblegid en-
neiniog yr ARGLWYDD *yw* efe.
7 Felly 'r attaliodd Dafydd ei wŷr â'r
geiriau *hyn*, ac ni adawodd iddynt gyfodi
yn erbyn Saul. A Saul a gododd i fynu o'r
ogof, ac a aeth i ffordd.
8 Ac ar ol hyn Dafydd a gyfododd, ac a
aeth allan o'r ogof; ac a lefodd ar ol Saul,
gan ddywedyd, Fy arglwydd frenhin. A
phan edrychodd Saul o'i ol, Dafydd a os-
tyngodd ei wyneb tu a'r ddaear, ac a ym-
grymmodd.
9 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrth Saul,
[d] Psal. 141. [d] Pa ham y gwrandewi eiriau dynion, gan
6. ddywedyd, Wele, y mae Dafydd yn ceisio
niweid i ti?
10 Wele, dy lygaid a welsant y dydd hwn
ddarfod i'r ARGLWYDD dy roddi di yn fy
llaw i heddyw yn yr ogof: a dywedwyd
*wrthyf* am dy ladd di; ond *fy enaid* a'th ar-
bedodd di: a dywedais, Nid estynaf fy llaw
yn erbyn fy meistr; canys enneiniog yr
ARGLWYDD *yw* efe.
11 Fy nhad hefyd, gwel, ïe gwel gwrr
dy fantell yn fy llaw i: canys pan dorrais
ymaith gwrr dy fantell di, heb dy ladd;
gwybydd a gwel nad *oes* yn fy llaw i ddryg-
ioni na chamwedd, ac na phechais i'th er-
byn: etto'r wyt ti'n hela fy einioes i, i'w
dala hi.
12 Barned yr ARGLWYDD rhyngof fi a
thitbau, a dïaled yr ARGLWYDD fi arnat
ti: ond ni bydd fy llaw i arnat ti.
13 Megis y dywed yr hen ddiareb, Oddi
wrth y rhai anwir y daw anwiredd: ond ni
bydd fy llaw i arnat ti.
14 Ar ol pwy y daeth brenhin Israel allan?
[e] 2 Sam. 9. ar ol pwy yr ydwyt ti'n erlid? ar ol [e] ci
8. marw, ar ol [f] chwannen.
[f] Pen. 26. 15 Am hynny bydded yr ARGLWYDD yn
20. farnwr, a barned rhyngof fi a thi; edryched
† Heb. hefyd, a dadleued fy nadl, ac † achubed fi
*barned.* o'th law di.
16 ¶ A phan orphenodd Dafydd lefaru'r
geiriau hyn wrth Saul, yna y dywedodd
Saul, Ai dy lef di *yw* hon, fy mab Da-
fydd? A Saul a ddyrchafodd ei lef, ac a
wylodd.
17 Efe a ddywedodd hefyd wrth Dda-
fydd, Cyfiawnach *wyt* ti nâ myfi: canys
ti a delaist i mi dda, a minnau a delais i ti
ddrwg.
18 A thi a ddangosaist heddyw wneuthur
‡ Heb. o honot â mi ddaioni: o herwydd ‡ rhodd-
*cauodd.* odd yr ARGLWYDD fi yn dy law di, ac ni'm
lleddaist.
19 Oblegid os caffai wr ei elyn, a ollyng-
ai efe ef mewn ffordd dda? am hynny 'r
ARGLWYDD a dalo i ti ddaioni, am yr hyn
a wnaethost i mi y dydd hwn.
[g] Pen. 23. 20 Ac wele yn awr, [g] mi a wn gan deyr-
17. nasu y teyrnesi di, ac y sicrhêir brenhiniaeth
Israel yn dy law di.
21 Twng dithau wrthyf fi yn awr i'r
ARGLWYDD, na thorri ymaith fy had i ar
fy ol, ac na ddifethi fy enw i o dŷ fy nhad.

22 A Dafydd a dyngodd wrth Saul. A
Saul a aeth i'w dŷ: Dafydd hefyd a'i wŷr
a aethant i fynu i'r [h] amddiffynfa. [h] Pen. 23.
29.

PEN. XXV.

1 *Marwolaeth Samuel.* 2 *Dafydd yn Paran* Ebrill 11.
*yn danfon at Nabal:* 10 *a chwedi ei gyffrôi* B.
*trwy daeogrwydd Nabal, ar fedr ei ddifetha*
*ef.* 14 *Abigail yn cael gwybod hynny,* 18
*yn cymmeryd anrheg,* 23 *a thrwy ei doethi-*
*neb* 32 *yn dyhuddo Dafydd.* 36 *Nabal wedi*
*clywed hynny, yn marw.* 39 *Dafydd yn*
*priodi Abigail ac Ahinoam.* 44 *Rhoddi*
*Michal i Phalti.*

A [a] Bu farw Samuel; a holl Israel a ym- Cylch
gynnullasant, ac a alarasant am dano 1060.
ef, ac a'i claddasant ef yn ei dŷ yn Ramah. [a] Pen. 28.
A Dafydd a gyfododd, ac a aeth i wared i 3.
anialwch Paran. Eccl. 46.
13, 20.
2 Ac *yr oedd* gwr ym Maon, a'i † gyfoeth † Neu,
yn [b] Carmel; a'r gwr *oedd* fawr iawn, ac *negeseuau.*
iddo ef *yr oedd* tair mil o ddefaid, a mil o [b] Jos. 15.
eifr: ac yr oedd efe yn cneifio ei ddefaid yn 55.
Carmel.
3 Ac enw'r gwr *oedd* Nabal; ac enw ei
wraig Abigail: a'r wraig *oedd* yn dda *ei*
deall, ac yn dêg *ei* gwedd: a'r gwr *oedd*
galed, a drwg *ei* weithredoedd; a Chalebiad
*oedd* efe.
4 ¶ A chlybu Dafydd yn yr anialwch, fod
Nabal yn cneifio ei ddefaid.
5 A Dafydd a anfonodd ddeg o langciau;
a Dafydd a ddywedodd wrth y llangciau,
Cerddwch i fynu i Carmel, ac ewch at Na-
bal, a chyferchwch well iddo yn fy enw i.
6 Dywedwch fel hyn hefyd wrtho ef sy'n
byw *mewn llwyddiant, Caffech* di heddwch,
a'th dŷ heddwch, a'r hyn oll *sydd* eiddot ti
heddwch.
7 Ac yn awr clywais fod rhai yn cneifio i
ti: yn awr y bugeiliaid *sydd* gennyt a fuant
gyd â ni, ni wnaethom sarhâd arnynt hwy,
ac ni bu ddim yn eisiau iddynt, yr holl
ddyddiau y buant hwy yn Carmel.
8 Gofyn i'th langciau, a hwy a fynegant
it: gan hynny caed y llangciau hyn ffafr
yn dy olwg di (canys ar ddiwrnod da y
daethom ni) dyro, attolwg, yr hyn a ddelo
i'th law, i'th weision, ac i'th fab Dafydd.
9 Ac wedi dyfod llangciau Dafydd, hwy
a ddywedasant wrth Nabal yn ol yr holl
eiriau hynny yn enw Dafydd, ac ‡ a daw- ‡ Heb.
sant. *a fuant*
*lonydd.*
10 ¶ A Nabal a attebodd weision Dafydd,
ac a ddywedodd, Pwy *yw* Dafydd? a phwy
*yw* mab Jesse? Llawer sydd o weision he-
ddyw yn torri ymaith bob un oddi wrth ei
feistr.
11 [c] A gymmeraf fi fy mara a'm dwfr, [c] Barn. 8.
a'm § cig a leddais i'm cneifwŷr, a'u rhoddi 6.
i wŷr ni's gwn o ba le *y maent?* § Heb.
*lladdfa.*
12 Felly llangciau Dafydd a droisant i'w
ffordd, ac a ddychwelasant, ac a ddaeth-
ant, ac a fynegasant iddo ef yr holl eiriau
hynny.
13 A Dafydd a ddywedodd wrth ei wŷr,
Gwregyswch bob un ei gleddyf. Ac ym-
wregysodd pob un ei gleddyf; ymwregys-
odd Dafydd hefyd ei gleddyf: ac ynghylch
pedwar cant o wŷr a aeth i fynu ar ol Da-
fydd, a dau gant a drigasant gyd â'r dodrefn.
14 ¶ Ac un o'r llangciau a fynegodd i
Abigail gwraig Nabal, gan ddywedyd, Wele,
Dafydd a anfonodd genhadau o'r anialwch
i gyfarch gwell i'n meistr ni; ond efe ‖ a'u ‖ Heb.
difenwodd hwynt. *a ruthrodd*
*arnynt.*

15 A'r gwŷr *fu* dda iawn wrthym ni; ac ni wnaed sarhâd arnom ni, ac ni bu i ni ddim yn eisiau yr holl ddyddiau y rhodiasom gyd â hwynt, pan oeddym yn y maes.

16 Mur oeddynt hwy i ni nos a dydd, yr holl ddyddiau y buom gyd â hwynt yn cadw y defaid.

17 Yn awr gan hynny gwybydd, ac ystyria beth a wnelech: canys parottôwyd drwg yn erbyn ein meistr ni, ac yn erbyn ei holl dŷ ef: canys efe *sydd* fab i Belial, fel na ellir ymddiddan ag ef.

18 ¶ Yna Abigail a frysiodd, ac a gymmerth ddau cant o fara, a dwy gostrelaid o win, a phump o ddefaid wedi eu gwneuthur yn barod, a phum hobaid o gras-*yd*, a chan *swp* o resin, a dau can *teisen* o ffigys, ac a'*u* gosododd ar asynod.

19 A hi a ddywedodd wrth ei gweision, Cerddwch o'm blaen i; wele, fi yn dyfod ar eich ol: ond wrth Nabal ei gwr nid yngan-odd hi.

20 Ac a hi yn marchogaeth ar asyn, ac yn dyfod i wared ar hŷd ystlys y mynydd; yna, wele, Ddafydd a'i wŷr yn dyfod i wared i'w herbyn; a hi a gyfarfu â hwynt.

21 (A dywedasai Dafydd, Dïau gadw o honof fi yn ofer yr hyn oll *oedd* gan hwn yn yr anialwch, fel na bu ddim yn eisiau o'r hyn oll *oedd* ganddo ef: canys efe a dalodd i mi ddrwg dros dda.

22 [d] Felly y gwnelo Duw i elynion Dafydd, ac ychwaneg, os [e] gadawaf o'r hyn oll *sydd ganddo* ef, erbyn goleuni y bore, [f] *un* a biso ar bared)

[d] Ruth. 1. 17. Pen. 3. 17. [e] Adn. 34. [f] 1 Bren. 14. 10. a 21. 21. 2 Bren. 9. 8.

23 A phan welodd Abigail Ddafydd, hi a frysiodd ac [g] a ddisgynodd oddi ar yr asyn, ac a syrthiodd ger bron Dafydd ar ei hwyneb, ac a ymgrymmodd hyd lawr,

[g] Jos. 15. 18. Barn. 1. 14.

24 Ac a syrthiodd wrth ei draed ef, ac a ddywedodd, Arnaf fi, fy arglwydd, arnaf fi *bydded* yr anwiredd; a llefared dy wasanaethferch, attolwg, † wrthyt, a gwrando eiriau dy law-forwyn.

† Heb. *yn dy glustiau.*

25 Attolwg, na osoded fy arglwydd ei galon yn erbyn y gwr Belial hwn, *sef* Nabal: canys fel *y mae* ei enw ef, felly *y mae* yntau; Nabal *yw* ei enw ef, ac ynfydrwydd *sydd* gyd ag ef: a minnau dy wasanaethferch, ni welais weision fy arglwydd, y rhai a anfonaist.

26 Ac yn awr, fy arglwydd, *fel* y mae 'r ARGLWYDD yn fyw, ac *mai* byw dy enaid di, gan i'r ARGLWYDD dy luddias di rhag dyfod i *dywallt* gwaed, ac ‡ i ymddïal â'th law dy hun; yn awr bydded dy elynion di, a'r sawl a geisiant niweid i'm harglwydd, megis Nabal.

‡ Heb. *i'th achub dy hun.*

27 Ac yn awr yr anrheg yma, yr hon a ddug dy wasanaethferch i'm harglwydd, rhodder hi i'r llangciau sy'n § canlyn fy arglwydd.

§ Heb. *rnodio wrth draed.*

28 A maddeu, attolwg, gamwedd dy wasanaethferch: canys yr ARGLWYDD gan wneuthur a wna i'm harglwydd dŷ sicr; o herwydd fy arglwydd sy'n ymladd rhyfeloedd yr ARGLWYDD, a drygioni ni chafwyd ynot ti yn dy *holl* ddyddiau.

29 Er cyfodi o ddyn i'th erlid di, ac i geisio dy enaid; etto enaid fy arglwydd a fydd wedi ei rwymo yn rhwymyn y bywyd gyd â'th ARGLWYDD dy DDUW; ac enaid dy elynion [h] a chwŷrn-deifl efe, *fel* o ganol ceudab y ffon dafl.

[h] Jer. 10. 18.

30 A phan wnelo 'r ARGLWYDD i'm harglwydd yn ol yr hyn oll a lefarodd efe o ddaioni am danat, a phan y'th osodo di yn flaenor ar Israel;

31 Yna ni bydd hyn yn ‖ ochenaid i ti, nac yn dramgwydd calon i'm harglwydd, ddarfod i ti dywallt gwaed heb achos, neu ddïal o'm harglwydd ef ei hun: ond pan wnelo DUW ddaioni i'm harglwydd, yna cofia di dy law-forwyn.

‖ Heb. *syfrdandod.*

32 ¶ A dywedodd Dafydd wrth Abigail, Bendigedig *fyddo* ARGLWYDD DDUW Israel, yr hwn a'th anfonodd di y dydd hwn i'm cyfarfod i:

33 Bendigedig hefyd *fo* dy gyngor, a bendigedig *fyddych* dithau yr hon a'm lluddiaist y dydd hwn rhag dyfod i *dywallt* gwaed, ac i ymddïal â'm llaw fy hun.

34 Canys yn wir, *fel* y mae ARGLWYDD DDUW Israel yn fyw, yr hwn a'm hattaliodd i rhag dy ddrygu di, oni buasai i ti frysio a dyfod i'm cyfarfod, dïau [i] na adawsid i Nabal, erbyn goleuni 'r bore, *un* a bisai ar bared.

[i] Adn. 22.

35 Yna y cymmerodd Dafydd o'i llaw hi yr hyn a ddygasai hi iddo ef; ac a ddywedodd wrthi hi, Dos i fynu mewn heddwch i'th dŷ: gwel, mi a wrandewais ar dy lais, ac a dderbyniais dy wyneb.

36 ¶ Ac Abigail a ddaeth at Nabal; ac wele, [k] *yr oedd* gwledd ganddo ef yn ei dŷ, fel gwledd brenhin: a chalon Nabal *oedd* lawen ynddo ef; canys meddw iawn oedd efe: am hynny nid ynganodd hi wrtho ef air, na bychan na mawr, nes goleuo'r bore.

[k] 2 Sam. 13. 23.

37 A'r bore pan aeth ei feddwdod allan o Nabal, mynegodd ei wraig iddo ef y geiriau hynny; a'i galon ef a fu farw o'i fewn, ac efe a aeth *fel* carreg.

38 Ac ynghylch *pen* y deng niwrnod y tarawodd yr ARGLWYDD Nabal, fel y bu efe farw.

39 ¶ A phan glybu Dafydd farw Nabal, efe a ddywedodd, Bendigedig *fyddo*'r ARGLWYDD yr hwn a ddadleuodd achos fy sarhâd i oddi ar law Nabal, ac a attaliodd ei was rhag drwg: canys yr ARGLWYDD a drodd ddrygioni Nabal ar ei ben ei hun. Dafydd hefyd a anfonodd i ymddiddan ag Abigail, am ei chymmeryd hi yn wraig iddo.

40 A phan ddaeth gweision Dafydd at Abigail i Carmel, hwy a lefarasant wrthi, gan ddywedyd, Dafydd a'n hanfonodd ni attat ti, i'th gymmeryd di yn wraig iddo.

41 A hi a gyfododd, ac a ymgrymmodd ar ei hwyneb hyd lawr; ac a ddywedodd, Wele, dy forwyn yn wasanaethferch i olchi traed gweision fy arglwydd.

42 Abigail hefyd a frysiodd, ac a gyfododd, ac a farchogodd ar asyn, a phump o'i llangcesau † yn ei chanlyn: a hi a aeth ar ol cenhadau Dafydd, ac a aeth yn wraig iddo ef.

† Heb. *wrth ei thraed.*

43 A Dafydd a gymmerth Ahinoam o [l] Jezreel, a hwy a fuant ill dwyoedd yn wragedd iddo ef.

[l] Jos. 15. 56.

44 ¶ A Saul a roddasai [m] Michal ei ferch, gwraig Dafydd, i ‡ Phalti fab Laïs, o Alim.

[m] 2 Sam. 3. 14. ‡ *Phaltïel,* 2 Sam. 3. 15.

## PEN. XXVI.

1 *Saul, wedi i'r Ziphiaid ddatguddio Dafydd, yn dyfod i Hachilah yn ei erbyn ef.* 5 *Dafydd yn dyfod i'r wersyllfa, ac yn rhwystro i Abisai ladd Saul; etto yn cymmeryd ei waywffon ef a'i ddwfrlestr.* 13 *Dafydd yn ceryddu Abner;* 18 *ac yn cynghori Saul.* 21 *Saul yn cydnabod ei fai.*

Ebrill 11. P.

A'R [a] Ziphiaid a ddaethant at Saul i Gibeah, gan ddywedyd, Onid *ydyw* Dafydd yn llechu ym mryn Hachilah, ar gyfer † y diffaethwch?

Cylch 1060. [a] Pen. 23. 19. Psal. 54. tit. † *Jesimon.*

2 Yna y cyfododd Saul, ac a aeth i wared
i anialwch Ziph, a thair mil o etholedigion
gwŷr Israel gyd ag ef, i geisio Dafydd yn
anialwch Ziph.
3 A Saul a wersyllodd ym mryn Hachi-
lah, yr hwn *sydd* ar gyfer y diffaethwch,
wrth y ffordd: a Dafydd oedd yn aros yn yr
anialwch; ac efe a welodd fod Saul yn dy-
fod ar ei ol ef i'r anialwch.
4 Am hynny Dafydd a anfonodd ysbïwŷr,
ac a wybu ddyfod o Saul yn sicr.
5 ¶ A Dafydd a gyfododd, ac a ddaeth i'r
lle y gwersyllasai Saul ynddo: a chanfu Da-
fydd y lle yr oedd Saul yn gorwedd ynddo,
[b] Pen. 14. 50. a 17. 55. — ac [b] Abner mab Ner, tywysog ei lu. A Saul
oedd yn gorwedd † yn y wersyllfa, a'r bobl
† Neu, ynghanol ei glun. — yn gwersyllu o'i amgylch ef.
6 Yna y llefarodd Dafydd, ac y dywed-
odd wrth Ahimelech yr Hethiad, ac wrth
[c] 1 Chron. 2. 16. — Abisai [c] fab Serfiah, brawd Joab, gan ddy-
wedyd, Pwy a â i wared gyd â mi at Saul
i'r gwersyll? A dywedodd Abisai, Myfi â af
i wared gyd â thi.
7 Felly y daeth Dafydd ac Abisai at y bobl
liw nos. Ac wele, Saul yn gorwedd *ac* yn
cysgu yn y wersyllfa, a'i waywffon wedi ei
gwthio i'r ddaear *wrth* ei obennydd ef: ac
Abner a'r bobl oedd yn gorwedd o'i amgylch
ef.
8 Yna y dywedodd Abisai wrth Ddafydd,
‡ Heb. gauodd. — DUW a ‡ roddes heddyw dy elyn yn dy law
di: yn awr gan hynny gâd i mi ei daro ef,
attolwg, â gwaywffon, hyd y ddaear un
waith, ac ni's ail-*darawaf* ef.
9 A Dafydd a ddywedodd wrth Abisai,
Na ddifetha ef: canys pwy a estynai ei law
yn erbyn enneiniog yr ARGLWYDD, ac a
fyddai ddïeuog?
10 Dywedodd Dafydd hefyd, *Fel* y mae'r
ARGLWYDD yn fyw, naill ai'r ARGLWYDD
a'i tery ef; ai ei ddydd ef a ddaw i farw;
ai efe a ddisgyn i'r rhyfel, ac a ddifethir.
[d] Pen. 24. 6. — 11 [d] Yr ARGLWYDD a'm cadwo i rhag
estyn fy llaw yn erbyn enneiniog yr AR-
GLWYDD: ond yn awr, cymmer, attolwg,
y waywffon *sydd* wrth ei obennydd ef, a'r
llestr dwfr, ac awn ymaith.
12 A Dafydd a gymmerth y waywffon,
a'r dwfr oddi wrth obennydd Saul; a hwy
a aethant ymaith; ac nid oedd *neb* yn
gweled, nac yn gwybod, nac yn neffro:
canys *yr oeddynt* oll yn cysgu; o herwydd
trymgwsg oddi wrth yr ARGLWYDD a
syrthiasai arnynt hwy.
13 ¶ Yna Dafydd a aeth i'r tu hwnt, ac
a safodd ar ben y mynydd o hirbell (*ac* en-
cyd fawr rhyngddynt)
14 A Dafydd a lefodd ar y bobl, ac ar Ab-
ner fab Ner, gan ddywedyd, Onid attebi di,
Abner? Yna Abner a attebodd, ac a ddy-
wedodd, Pwy *ydwyt* ti *sy*'n llefain ar y
brenhin?
15 A Dafydd a ddywedodd wrth Abner,
Onid gwr *ydwyt* ti? a phwy *sydd* fel ti yn
Israel? a pha ham na chedwaist dy arglwydd
frenhin? canys daeth un o'r bobl i ddifetha'r
brenhin dy arglwydd di.
16 Nid da y peth hyn a wnaethost ti.
*Fel* y mae'r ARGLWYDD yn fyw, meib-
ion *euog* o farwolaeth *ydych* chwi, am na
chadwasoch eich meistr, enneiniog yr AR-
GLWYDD. Ac yn awr edrychwch pa le *y*
*mae* gwaywffon y brenhin, a'r llestr dwfr
*oedd wrth* ei obennydd ef.
17 A Saul a adnabu lais Dafydd, ac a
ddywedodd, Ai dy lais di *yw* hwn, fy mab
Dafydd? A dywedodd Dafydd, Fy llais i
*ydyw*, fy arglwydd frenhin.
18 Dywedodd hefyd, Pa ham y mae fy
arglwydd fel hyn yn erlid ar ol ei was?
canys beth a wneuthum? neu pa ddrygioni
*sydd* yn fy llaw?
19 Yn awr gan hynny, attolwg, gwran-
dawed fy arglwydd frenhin eiriau ei wasa-
naethwr. Os yr ARGLWYDD a'th annog-
odd di i'm herbyn, arogled offrwm: ond
os meibion dynion, melldigedig *fyddant* hwy
ger bron yr ARGLWYDD; o herwydd hwy
a'm gyrrasant i allan heddyw, fel nad ydwyf
yn cael glynu yn etifeddiaeth yr AR-
GLWYDD, gan ddywedyd, Dos, gwasanaetha
dduwiau dieithr.
20 Yn awr, gan hynny, na syrthied fy
ngwaed i i'r ddaear o flaen wyneb yr AR-
GLWYDD: canys brenhin Israel a ddaeth
allan i geisio [e] chwannen, megis un yn hela — [e] Pen. 24. 14.
petris yn y mynyddoedd.
21 ¶ Yna Saul a ddywedodd, Pechais:
dychwel, Dafydd fy mab: canys ni'th
ddrygaf mwy; o herwydd gwerthfawr fu
fy einioes i yn dy olwg di y dydd hwn:
wele, ynfyd y gwneuthum, a mi a gyfeili-
ornais yn ddirfawr.
22 A Dafydd a attebodd, ac a ddywedodd,
Wele waywffon y brenhin; deled un o'r
llangciau drosodd, a chyrched hi.
23 Yr ARGLWYDD a dalo i bob un ei
gyfiawnder, a'i ffyddlondeb: canys yr AR-
GLWYDD a'th roddodd di heddyw yn *fy*
llaw *i*; ond nid estynwn i fy llaw yn erbyn
enneiniog yr ARGLWYDD.
24 Ac wele, megis y bu werthfawr dy
einioes di heddyw yn fy ngolwg i, felly
gwerthfawr fyddo fy einioes innau yngolwg
yr ARGLWYDD, a gwareded fi o bob cyf-
yngdra.
25 Yna y dywedodd Saul wrth Ddafydd,
Bendigedig *fych* di, fy mab Dafydd: hefyd
ti a wnai fawredd, ac a orchfygi rhag llaw.
A Dafydd a aeth i ffordd; a Saul a ddy-
chwelodd i'w fangre ei hun.

## PEN. XXVII.

1 *Saul yn clywed bod Dafydd yn Gath, ac heb* — Ebrill 12. B.
*ei geisio ef mwyach.* 5 *Dafydd yn cael*
*Siclag gan Achis;* 8 *a chan yspeilio gwled-*
*ydd eraill, yn peri i Achis goelio mai yn*
*erbyn Judah'r ymladdasai efe.*

A Dafydd a ddywedodd yn ei galon, Yn — Cylch 1058.
awr difethir fi ryw ddydd trwy law
Saul: nid *oes* dim well i mi nâ dïangc i dir
y Philistiaid; fel yr anobeithio Saul *ddyfod*
*o hyd* i mi, ac na'm ceisio mwy yn holl
derfynau Israel. Felly y dïangaf o'i law ef.
2 A Dafydd a gyfododd, ac a dramwyodd,
efe a'r chwe channwr *oedd* gyd ag ef, at
Achis fab Maoch, brenhin Gath.
3 A Dafydd a arhosodd gyd ag Achis yn
Gath, efe a'i wŷr, pob un gyd â'i deulu;
Dafydd a'i ddwy wragedd, Ahinoam y Jez-
reelees, ac Abigail gwraig Nabal y Carmelees.
4 A mynegwyd i Saul, ffoi o Ddafydd i
Gath: ac ni 'chwanegodd efe ei geisio ef
mwy.
5 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrth Achis,
O chefais yn awr ffafr yn dy olwg di,
rhodder i mi le yn un o'r maes-drefi, fel y
trigwyf yno: canys pa ham yr erys dy was
di yn ninas y brenhin gyd â thi?
6 Yna Achis a roddodd iddo ef y dydd
hwnnw Siclag: am hynny y mae [a] Siclag yn — [a] Edrych Jos. 15. 31, a 19. 5.
eiddo brenhinoedd Judah hyd y dydd hwn.

7 A rhifedi 'r dyddiau 'r arhosodd Dafydd
† Heb. blwyddyn o ddyddiau. yngwlâd y Philistiaid, *oedd* † flwyddyn a
phedwar mis.
8 ¶ A Dafydd a'i wŷr a aethant i fynu, ac
Edrych Pen. 29. 3, hyd 1055. a ruthrasant ar y Gesuriaid, a'r ‡ Gezriaid,
a'r Amaleciaid: canys hwynt-hwy gynt
oedd yn preswylio yn y wlad, ffordd yr
‡ Neu, Gerziaid. elych i Sur, ïe hyd wlad yr Aipht.
9 A Dafydd a darawodd y wlad; ac ni
adawodd yn fyw wr na gwraig: ac a ddug
y defaid, a'r gwartheg, a'r asynod, a'r camelod,
a'r gwisgoedd, ac a ddychwelodd ac
a ddaeth at Achis.
§ Neu, A wnaethoch chwi ymgyrch, &c. 10 Ac Achis a ddywedodd, § I ba le y
rhuthrasoch chwi heddyw? A dywedodd
Dafydd, Yn erbyn tu dehau Judah, ac yn
[b] Edrych 1 Chron. 2. 9, 25. erbyn tu dehau [b] y Jerahmeeliaid, ac yn erbyn
tu dehau [c] y Ceneaid.
11 Ac ni adawsai Dafydd yn fyw wr na
[c] Barn. 1. 16. gwraig, i ddwyn *chwedlau* i Gath; gan ddywedyd,
Rhag mynegi o honynt i'n herbyn,
gan ddywedyd, Fel hyn y gwnaeth Dafydd,
ac felly *y bydd* ei arfer ef yr holl ddyddiau
yr arhoso efe yngwlâd y Philistiaid.
12 Ac Achis a gredodd Ddafydd, gan
‖ Heb. i ddrewi. ddywedyd, Efe a'i gwnaeth ei hun ‖ yn
ffiaidd gan ei bobl ei hun Israel; am hynny
y bydd efe yn was i mi yn dragywydd.

## PEN. XXVIII.

Ebrill 12. P. 1 *Achis yn hyderu ar Ddafydd. 3 Saul wedi
difetha y dewiniaid, 4 yn ei ofn, wedi
i Dduw ei wrthod, 7 yn myned at ddewines;
9 a honno yn codi i fynu Samuel. 15
Saul, wrth glywed ei ddinystr, yn llewygu;
21 a'r wraig a'i weision yn ei nerthu ef â
bwyd.*

Cylch 1056. A'R Philistiaid yn y dyddiau hynny a
gynnullasant eu byddinoedd yn llu, i
ymladd yn erbyn Israel. A dywedodd Achis
wrth Ddafydd, Gwybydd di yn hyspys, yr ai
di gyd â mi allan i'r gwersylloedd, ti a'th wŷr.
2 A dywedodd Dafydd wrth Achis, Yn
ddïau ti a gai wybod beth a all dy was ei
wneuthur. A dywedodd Achis wrth Ddafydd,
Yn wir minnau a'th osodaf di yn
geidwad ar fy mhen i byth.
[a] Pen. 25. 1. 3 ¶ A [a] Samuel a fuasai farw; a holl Israel
a alarasent am dano ef, ac a'u claddasent
yn Ramah, sef yn ei ddinas ei hun. A
[b] Lef. 19. 31. a 20. 27. Deut. 18. 10, 11. Saul a yrrasai ymaith [b] y swynyddion a'r
dewiniaid o'r wlad.
4 ¶ A'r Philistiaid a ymgynnullasant ac
a ddaethant ac a wersyllasant yn Sunem:
a Saul a gasglodd holl Israel ynghŷd; a hwy
a wersyllasant yn Gilboa.
5 A phan welodd Saul wersyll y Philistiaid,
efe a ofnodd, a'i galon a ddychrynodd
yn ddirfawr.
6 A phan ymgynghorodd Saul â'r Arglwydd,
[c] Pen. 14. 37. Galar. 2. 9. [c] nid attebodd yr Arglwydd
iddo, na thrwy freuddwydion, na [d] thrwy
[d] Exod. 28. 30. Urim, na thrwy brophwydi.
7 ¶ Yna y dywedodd Saul wrth ei weision,
Ceisiwch i mi wraig o berchen yspryd dewiniaeth,
fel yr elwyf atti, ac yr ymofynwyf
â hi. A'i weision a ddywedasant
wrtho, Wele, *y mae* gwraig o berchen yspryd
dewiniaeth yn Endor.
[e] 1 Chron. 10. 13. 8 A [e] Saul a newidiodd ei ddull, ac a
wisgodd ddillad eraill; ac efe a aeth, a
dau wr gyd ag ef, a hwy a ddaethant
at y wraig liw nos. Ac efe a ddywedodd,
Dewinia, attolwg, i mi trwy yspryd dewiniaeth,
a dwg i fynu attaf fi yr hwn a ddywedwyf
wrthyt.

9 A'r wraig a ddywedodd wrtho ef,
Wele, ti a wyddost yr hyn a wnaeth Saul,
yr hwn a ddifethodd y swynyddion a'r dewiniaid
o'r wlad: pa ham gan hynny yr
ydwyt ti yn gosod magl yn erbyn fy einioes
i, i beri i mi farw?
10 A Saul a dyngodd wrthi hi i'r Arglwydd,
gan ddywedyd, *Fel mai* byw yr
Arglwydd, ni ddigwydd i ti niweid am y
peth hyn.
11 Yna y dywedodd y wraig, Pwy a ddygaf
fi i fynu attat ti? Ac efe a ddywedodd,
Dwg i mi Samuel i fynu.
12 A'r wraig a ganfu Samuel, ac a lefodd
â llef uchel: a'r wraig a lefarodd wrth Saul,
gan ddywedyd, Pa ham y twyllaist fi?
canys ti *yw* Saul.
13 A'r brenhin a ddywedodd wrthi hi,
Nac ofna: canys beth a welaist ti? A'r
wraig a ddywedodd wrth Saul, Duwiau a
welais yn dyrchafu o'r ddaear.
14 Yntau a ddywedodd wrthi, Pa ddull
*sydd* arno ef? A hi a ddywedodd, Gwr hen
sydd yn dyfod i fynu, a hwnnw yn gwisgo
mantell. A gwybu Saul mai Samuel *oedd*
efe; ac efe a ostyngodd *ei* wyneb i lawr, ac
a ymgrymmodd.
15 ¶ A Samuel a ddywedodd wrth Saul,
Pa ham yr aflonyddaist arnaf, gan beri i mi
ddyfod i fynu? A dywedodd Saul, Y mae yn
gyfyng iawn arnaf fi: canys y mae'r Philistiaid
yn rhyfela yn fy erbyn i, a Duw a
giliodd oddi wrthyf fi, ac nid yw yn fy atteb
mwyach, na thrwy law prophwydi, na thrwy
freuddwydion: am hynny y gelwais arnat
ti, i hyspysu i mi beth a wnawn.
16 [f] Yna y dywedodd Samuel, Pa ham [f] Eccl. 46.
gan hynny yr ydwyt ti yn ymofyn â mi, gan 20.
i'r Arglwydd gilio oddi wrthyt, a bod yn
elyn i ti?
17 Yr Arglwydd yn ddïau a wnaeth
† iddo, [g] megis y llefarodd trwy fy llaw i: † Neu, trosto ei hun.
canys yr Arglwydd a rwygodd y frenhiniaeth
o'th law di, ac a'i rhoddes hi i'th [g] Pen. 15.
gymmydog, i Ddafydd. 28.
18 [h] O herwydd na wrandewaist ti ar lais [h] Pen. 15.
yr Arglwydd, ac na chyflawnaist lid- 9.
iowgrwydd ei ddigter ef yn erbyn Amalec;
am hynny y gwnaeth yr Arglwydd y peth
hyn i ti y dydd hwn.
19 Yr Arglwydd hefyd a ddyry Israel gyd
â thi yn llaw 'r Philistiaid; ac y foru *y byddi*
di a'th feibion gyd â mi: a'r Arglwydd a
ddyry wersylloedd Israel yn llaw 'r Philistiaid.
20 Yna Saul a frysiodd ac a syrthiodd o'i
hŷd gyhyd ar y ddaear, ac a ofnodd yn ddirfawr,
o herwydd geiriau Samuel: a nerth
nid oedd ynddo; canys ni fwyttasai fwyd
yr holl ddiwrnod na'r holl noson *honno*.
21 ¶ A'r wraig a ddaeth at Saul, ac a ganfu
ei fod ef yn ddychrynedig iawn; a hi a ddywedodd
wrtho ef, Wele, gwrandawodd
dy law-forwyn ar dy lais di, a [i] gosodais [i] Job 13.
fy einioes ‡ mewn enbydrwydd, ac ufudd- 14.
heais dy eiriau a leferaist wrthyf: ‡ Heb. yn fy llaw
22 Yn awr gan hynny gwrando dithau,
attolwg, ar lais dy wasanaethferch, a gâd i
mi osod ger dy fron di dammaid o fara; a
bwytta, fel y byddo nerth ynot, pan elech
i'th ffordd.
23 Ond efe a wrthododd, ac a ddywedodd,
Ni fwyttâf. Etto ei weision a'r wraig hefyd
a'i cymmellasant ef; ac efe a wrandawodd
ar eu llais hwynt. Ac efe a gyfododd
oddi ar y ddaear, ac a eisteddodd ar y gwely.

24 Ac *yr oedd* gan y wraig lo bras yn tŷ;
a hi a frysiodd ac a'i lladdodd ef, ac a gym-
merth beilliaid, ac a'i tylinodd, ac a'i po-
bodd yn gri:
25 A hi a'i dug ger bron Saul, a cher
bron ei weision: a hwy a fwyttasant. Yna
hwy a gyfodasant, ac a aethant ymaith y
noson honno.

PEN. XXIX.

Ebrill 13. B. 1 *Dafydd, wrth fyned gyd â'r Philistiaid, 5 yn cael ei wrthod gan y tywysogion. 6 Achis yn ei ollwng ef ymaith, ac yn canmol ei ffyddlondeb ef.*

Cylch 1056. YNA y Philistiaid a gynhullasant eu holl
fyddinoedd i Aphec: a'r Israeliaid
oedd yn gwersyllu wrth ffynnon *sydd* yn
Jezreel.
2 A thywysogion y Philistiaid oedd yn
tramwy yn gannoedd, ac yn filoedd: ond
Dafydd a'i wŷr oedd yn cerdded yn olaf
gyd ag Achis.
3 Yna tywysogion y Philistiaid a ddy-
wedasant, Beth *a wna*'r Hebreaid hyn
*yma?* Ac Achis a ddywedodd wrth dy-
wysogion y Philistiaid, Onid dyma Dda-
fydd, gwas Saul brenhin Israel, yr hwn a fu
[a] Edrych 27. 7. gyd â mi [a] y dyddiau hyn, neu y blynydd-
oedd hyn, ac ni chefais ddim bai ynddo ef,
er y dydd y syrthiodd efe *attaf* hyd y dydd
hwn?
4 A thywysogion y Philistiaid a lidiasant
wrtho; a thywysogion y Philistiaid a ddy-
[b] 1 Chron. 12. 19. wedasant wrtho, [b] Gwna i'r gwr hwn ddy-
chwelyd i'w le a osodaist iddo, ac na ddeled
[c] Fel Pen. 14. 21. i wared gyd â ni i'r rhyfel; rhag [c] ei fod
yn wrthwynebwr i ni yn y rhyfel: canys â
pha beth y rhyngai hwn fodd i'w feistr?
onid â phennau y gwŷr hyn?
5 Onid hwn *yw* Dafydd, am yr hwn y
canasant wrth eu gilydd yn y dawnsiau, gan
[d] Pen. 18. 7. a 21. 11. ddywedyd, [d] Saul a laddodd ei filoedd, a
Dafydd ei fyrddiwn?
6 ¶ Yna Achis a alwodd Ddafydd, ac a
ddywedodd wrtho, *Fel mai* byw yr Ar-
glwydd, dïau dy *fod* di yn union, ac yn
dda yn fy ngolwg i, pan elit allan, a phan
ddelit i mewn gyd â mi yn y gwersyll: ca-
nys ni chefais ynot ddrygioni, o'r dydd y
daethost attaf fi hyd y dydd hwn: eithr nid
† Heb. *dda yngolwg.* *wyt* ti † wrth fodd y tywysogion.
7 Dychwel yn awr, gan hynny, a dos
mewn heddwch, ac na ‡ anfoddlona dy-
‡ Heb. *wna ddrwg yngolwg tywysogion.* wysogion y Philistiaid.
8 ¶ A dywedodd Dafydd wrth Achis,
Ond beth a wneuthum i? a pheth a gefaist
ti yn dy was, o'r dydd y deuthum o'th flaen
di hyd y dydd hwn, fel na ddelwn i ymladd
yn erbyn gelynion fy arglwydd frenhin?
9 Ac Achis a attebodd ac a ddywedodd
wrth Ddafydd, Gwn mai da *wyt* ti yn fy
ngolwg i, megis angel Duw: ond ty-
wysogion y Philistiaid a ddywedasant, Ni
ddaw efe i fynu gyd â ni i'r rhyfel.
10 Am hynny yn awr cyfod yn fore, a
gweision dy feistr y rhai a ddaethant gyd â
thi: a phan gyfodoch yn fore, a phan oleuo
i chwi, ewch ymaith.
11 Felly Dafydd a gyfododd, efe a'i wŷr,
i fyned ymaith y bore, i ddychwelyd i dir
y Philistiaid. A'r Philistiaid a aethant i
fynu i Jezreel.

PEN. XXX.

Ebrill 13. P. 1 *Yr Amaleciaid yn yspeilio Siclag. 7 Dafydd yn ymofyn â Duw, ac yn cael cysur i'w herlid hwy; 11 a thrwy waith Aiphtiad, yn cael ei ddwyn at y gelynion, ac yn ynnill adref yr holl yspail. 22 Cyfraith Dafydd am rannu'r yspail yn uniawn rhwng yr ymladdwŷr a'r rhai a gadwent yr yspail. 26 Efe yn anfon anrhegion i'w gyfeillion.*

A Phan ddaeth Dafydd a'i wŷr i Siclag y 1056.
trydydd dydd, yr Amaleciaid a ruthr-
asent ar du y dehau, ac ar Siclag, ac a da-
rawsent Siclag, ac a'i llosgasent hi â thân.
2 Caeth-gludasent hefyd y gwragedd *oedd*
ynddi: o fychan hyd fawr ni laddasent hwy
neb, eithr dygasent *hwy* ymaith, ac aethant
i'w ffordd.
3 ¶ Felly y daeth Dafydd a'i wŷr i'r
ddinas; ac wele *hi* wedi ei llosgi â thân:
eu gwragedd hwynt *hefyd*, a'u meibion, a'u
merched, a gaeth-gludasid.
4 Yna dyrchafodd Dafydd a'r bobl *oedd*
gyd ag ef eu llef, ac a wylasant, hyd nad
*oedd* nerth ynddynt i wylo.
5 Dwy wragedd Dafydd hefyd a gaeth-
gludasid, Ahinoam y Jezreelees, ac Abigail
gwraig Nabal y Carmeliad.
6 A bu gyfyng iawn ar Ddafydd; canys
y bobl a feddyliasant ei labyddio ef; o he-
rwydd chwerwasai enaid yr holl bobl, bob
un am ei feibion, ac am ei ferched: ond
Dafydd a ymgysurodd yn yr ARGLWYDD
ei DDUW.
7 A [a] Dafydd a ddywedodd wrth Abïa- [a] Pen. 23. 9.
thar yr offeiriad, mab Ahimelech, Dwg i mi,
attolwg, yr ephod. Ac Abïathar a ddug yr
ephod at Ddafydd.
8 A Dafydd a ymofynodd â'r AR-
GLWYDD, gan ddywedyd, A erlidiaf fi
ar ol y dorf hon? a oddiweddaf fi hi? Ac
efe a ddywedodd wrtho, Erlid: canys gan
oddiweddyd y goddiweddi, a chan waredu
y gwaredi.
9 Felly Dafydd a aeth, efe a'r chwe
channwr *oedd* gyd ag ef, a hwy a ddaethant
hyd afon Besor, lle yr arhosodd y rhai a
adawyd yn ol.
10 A Dafydd a erlidiodd, efe a phedwar
cant o wŷr (canys dau can wr a arhosasant
yn ol, y rhai a flinasent fel na allent fyned
dros afon Besor)
11 ¶ A hwy a gawsant Aipht-ddyn yn
y maes, ac a'i dygasant ef at Ddafydd; ac
a roddasant iddo fara, ac efe a fwyttaodd;
a hwy a'i dïodasant ef â dwfr.
12 A hwy a roddasant iddo ddarn o ffigys,
a dau swp *o resin*. Ac [b] efe a fwyttaodd, [b] Felly
a'i yspryd a ddychwelodd atto: canys ni Barn. 15. 19.
fwyttasai fara, ac nid yfasai ddwfr, dridiau Pen. 14. 27
a thair nos.
13 A Dafydd a ddywedodd wrtho, *Gwas*
i bwy *wyt* ti? ac o ba le *y daethost* ti? Ac
efe a ddywedodd, Llangc o'r Aipht *ydwyf*
fi, gwas i wr o Amalec; a'm meistr a'm
gadawodd, oblegid i mi glefychu er ys trid-
iau bellach.
14 Nyni a ruthrasom *ar* du dehau [c] y [c] Ezec. 25.
Cerethiaid, a'r *hyn sydd* eiddo Judah, a thu 16. Seph. 2. 5.
dehau [d] Caleb; Siclag hefyd a losgasom ni [d] Jos. 14.
â thân. 13. a 15. 13.
15 A Dafydd a ddywedodd wrtho, A
fedri di fyned â mi i wared at y dorf hon?
Yntau a ddywedodd, Twng wrthyf fi i
DDUW, na leddi fi, ac na roddi fi yn llaw
fy meistr, a mi a af â thi i wared at y dorf
hon.
16 ¶ Ac efe a'i dug ef i wared: ac wele,
*hwynt* wedi ymwasgaru ar hŷd wyneb yr
holl dir, yn bwytta, ac yn yfed, ac yn dawns-
io; o herwydd yr holl yspail fawr a ddyg-

asent hwy o wlad y Philistiaid, ac o wlad Judah.

17 A Dafydd a'u tarawodd hwynt o'r cyfnos hyd bryd nawn † drannoeth: ac ni ddïangodd un o honynt, oddieithr pedwar cant o wŷr ieuaingc, y rhai a farchogasant ar gamelod, ac a ffoisant.

† Heb. *eu trannoeth.*

18 A Dafydd a achubodd yr hyn oll a ddygasai'r Amaleciaid: Dafydd *hefyd* a waredodd ei ddwy wragedd.

19 Ac nid oedd yn eisiau iddynt, na bychan na mawr, na mab na merch, na'r anrhaith, na dim ag a ddygasent hwy ganddynt: hyn oll a ddug Dafydd adref.

20 Dug Dafydd hefyd yr holl ddefaid, a'r gwartheg; *y rhai* a yrrasant o flaen yr anifeiliaid *eraill*, ac a ddywedasant, Dyma anrhaith Dafydd.

21 ¶ A Dafydd a ddaeth at y ddau cannwr a flinasent, fel nad allent ganlyn Dafydd, ac a barasid iddynt aros wrth afon Besor: a hwy a aethant i gyfarfod Dafydd, ac i gyfarfod â'r bobl *oedd* gyd ag ef. A phan nesaodd Dafydd at y bobl, efe a gyfarchodd well iddynt.

22 Yna'r attebodd pob gwr drygionus, ac *eiddo*'r fall, o'r gwŷr a aethai gyd â Dafydd, ac a ddywedasant, O herwydd nad aethant hwy gyd â ni, ni roddwn ni iddynt hwy *ddim* o'r anrhaith a achubasom ni; eithr i bob un ei wraig, a'i feibion: dygant *hwynt* ymaith, ac ymadawant.

23 Yna y dywedodd Dafydd, Ni wnewch chwi felly, fy mrodyr, am yr hyn a roddodd yr ARGLWYDD i ni, yr hwn a'n cadwodd ni, ac a roddodd y dorf a ddaethai i'n herbyn, yn ein llaw ni.

24 Canys pwy a wrendy arnoch chwi yn y peth hyn? canys [e] un fath *fydd* rhan yr hwn a elo i wared i ryfel, a rhan yr hwn a arhoso gyd â'r dodrefn: hwy a gydrannant.

e Edrych Num. 31. 27. Jos. 22. 8. 2 Mac. 8. 28.

25 Ac o'r dydd hwnnw allan, efe a osododd hyn yn gyfraith ac yn farnedigaeth yn Israel, hyd y dydd hwn.

26 ¶ A phan ddaeth Dafydd i Siclag, efe a anfonodd o'r anrhaith i henuriaid Judah, *sef* i'w gyfeillion (gan ddywedyd, Wele i chwi ‡ anrheg, o anrhaith gelynion yr ARGLWYDD)

‡ Heb. *fendith.*

27 *Sef* i'r *rhai oedd* yn Bethel, ac i'r *rhai oedd* yn [f] Ramoth tu a'r dehau, ac i'r *rhai oedd* yn [g] Jattir,

28 Ac i'r *rhai oedd* yn [h] Aroer, ac i'r *rhai oedd* yn Siphmoth, ac i'r *rhai oedd* yn [i] Estemoa,

29 Ac i'r *rhai oedd* yn Rachal, ac i'r *rhai oedd* yn ninasoedd [k] y Jerameeliaid, ac i'r *rhai oedd* yn ninasoedd y Ceneaid,

30 Ac i'r *rhai oedd* yn Hormah, ac i'r *rhai oedd* yn Chor-asan, ac i'r *rhai oedd* yn Athac,

31 Ac i'r *rhai oedd* yn Hebron, ac i'r holl leoedd y buasai Dafydd a'i wŷr yn cynniwair ynddynt.

f Jos. 19. 8. g Jos. 15. 48. h Jos. 13. 16. i Jos. 15. 50. k Pen. 27. 10.

## PEN. XXXI.

1 *Saul, wedi colli ei wŷr, a lladd ei feibion, yn ei ladd ei hun.* 7 *Y Philistiaid yn perchennogi'r dinasoedd a adawsai'r Israeliaid;* 8 *ac yn gorfoleddu ar y cyrph meirw.* 11 *Gwŷr Jabes Gilead yn ynnill y cyrph liw nos, ac yn eu llosgi hwy yn Jabes, ac yn eu claddu yn alarus.*

Ebrill 14. B.

A'R [a] Philistiaid oedd yn ymladd yn 1656.
erbyn Israel: a gwŷr Israel a ffoisant a 1 Chron.
rhag y Philistiaid, ac a syrthiasant yn ar- 10. 1.
chholledig ym mynydd Gilboa.

2 A'r Philistiaid a erlidiasant ar ol Saul
a'i feibion; a'r Philistiaid a laddasant [b] Jo- b Pen. 14.
nathan, ac Abinadab, a Malcisua, meibion 49. 1 Chron. 8.
Saul. 33.

3 A [c] thrymhaodd y rhyfel yn erbyn c Edrych
Saul, a'r gwŷr bwaau a'i cawsant ef; ac 2 Sam. 1.
efe a archollwyd yn dost gan y saethydd- 7, &c.
ion.

4 [d] Yna y dywedodd Saul wrth yr hwn d Felly
a oedd yn dwyn ei arfau ef, Tynn dy Barn. 9.
gleddyf, a thrywana fi ag ef; rhag i'r rhai 54.
dïenwaededig yma ddyfod a'm trywanu
i, a'm † gwaradwyddo. Ond ni fynnai ei † Neu, *gwatwor.*
yswain ef; canys efe a ddychrynasai yn
ddirfawr: am hynny Saul a gymmerodd
gleddyf, ac a syrthiodd arno.

5 A phan welodd ei yswain farw o Saul,
yntau hefyd a syrthiodd ar ei gleddyf, ac a
fu farw gyd ag ef.

6 Felly y bu farw Saul, a'i dri mab, a'i
yswain, a'i holl wŷr, y dydd hwnnw yngHŷd.

7 ¶ A phan welodd gwŷr Israel, y rhai
*oedd* o'r tu hwnt i'r dyffryn, a'r *rhai oedd*
o'r tu hwnt i'r Iorddonen, ffoi o wŷr
Israel, a marw Saul a'i feibion, hwy a
adawsant y dinasoedd, ac a ffoisant; a'r
Philistiaid a ddaethant ac a drigasant ynddynt.

8 A'r bore, pan ddaeth y Philistiaid i
ddïosg y lladdedigion, hwy a gawsant Saul
a'i dri mab yn gorwedd ym mynydd Gilboa.

9 A hwy a dorrasant ei ben ef, ac a
ddïosgasant ei arfau ef, ac a anfonasant i
wlad y Philistiaid o bob parth, i fynegi
yn nhŷ eu delwau hwynt, ac ym mysg y
bobl.

10 A gosodasant ei arfau ef yn nhŷ Asta-
roth; a'i gorph ef [e] a hoeliasant hwy ar e 2 Sam. 21.
fur [f] Beth-san. 12.

11 ¶ A phan glybu trigolion Jabes Gi- f Jos. 17.
lead yr hyn a wnaethai'r Philistiaid i 11. Barn. 1. 27.
Saul;

12 [g] Yr holl wŷr nerthol a gyfodasant, g Edrych
ac a gerddasant ar hŷd y nos, ac a ddyg- Pen. 11.
asant ymaith gorph Saul, a chyrph ei 1—11. 2 Sam. 2.
feibion ef, oddi ar fur Beth-san, ac a 4—7.
ddaethant i Jabes, ac [h] a'u llosgasant hwynt h Jer. 34. 5.
yno. Amos 6. 10.

13 A hwy a gymmerasant eu hesgyrn
hwynt, ac [i] a'u claddasant dan bren yn i 2 Sam. 2. 4, 5. a 21.
Jabes, ac a ymprydiasant saith niwrnod. 12, 13.

# ¶ Yr ail Llyfr i SAMUEL; yr hwn a elwir hefyd, Ail Lyfr y BRENHINOEDD.

## PEN. I.

Ebrill 14. P. *1 Yr Amaleciad, a ddygasai newyddion o'r gyfiafan, ac a'i cyhuddasai ei hun o farwolaeth Saul, yn cael ei ladd. 17 Dafydd yn gwneuthur marwnad i Saul a Jonathan.*

1056. AC ar ol marwolaeth Saul, pan ddychwe-
a 1 Sam. 30. lasai Dafydd [a] o ladd yr Amaleciaid,
17. wedi aros o Ddafydd ddeuddydd yn Siclag;
b Pen. 4. 2 Yna, y trydydd dydd, wele [b] wr yn
10. dyfod o'r gwersyll oddi wrth Saul, [c] a'i
c 1 Sam. 4. ddillad wedi eu rhwygo, a phridd ar ei ben:
12. a phan ddaeth efe at Ddafydd, efe a syrthi-
odd i lawr, ac a ymgrymmodd.
3 A Dafydd a ddywedodd wrtho ef, O
ba le y daethost ti? Yntau a ddywedodd
wrtho, O wersyll Israel y diengais i.
4 A dywedodd Dafydd wrtho ef, Pa
† Heb. *beth a fu?* † fodd y bu? mynega, attolwg, i mi. Yntau
a ddywedodd, Y bobl a ffodd o'r rhyfel, a
llawer hefyd o'r bobl a syrthiodd, ac a
fuant feirw; a Saul a Jonathan ei fab a
fuant feirw.
5 A Dafydd a ddywedodd wrth y llangc
oedd yn mynegi iddo, Pa fodd y gwyddost
ti farw Saul a Jonathan ei fab?
6 A'r llangc, yr hwn oedd yn mynegi
iddo, a ddywedodd, Digwyddodd i mi ddy-
d Edrych fod i fynydd Gilboa; ac wele, [d] Saul oedd
1 Sam. 31. yn pwyso ar ei waywffon: wele *hefyd*, y
3, 4. cerbydau a'r marchogion yn erlid ar ei
ol ef.
7 Ac efe a edrychodd o'i ol, ac a'm canfu
i, ac a alwodd arnaf fi. Minnau a ddywe-
dais, Wele fi.
8 Dywedodd yntau wrthyf, Pwy *wyt*
ti? Minnau a ddywedais wrtho, Amaleciad
*ydwyf* fi.
9 Ac efe a ddywedodd wrthyf fi, Saf, at-
‡ Neu, tolwg, arnaf, a lladd fi: canys ‡ cyfyngder
*fy llurig* a ddaeth arnaf, o herwydd *bod* fy holl
*sy i'm rhwystro,* einioes ynof fi etto.
*fod fy* 10 Felly mi a sefais arno ef, ac a'i lledd-
*holl, &c.* ais ef; canys mi a wyddwn na byddai efe
byw ar ol ei gwympo: a chymmerais y go-
ron *oedd* ar ei ben ef, a'r freichled *oedd* am
ei fraich ef, ac a'i dygais hwynt yma at fy
arglwydd.
11 Yna Dafydd a ymaflodd yn ei ddillad,
e Pen. 3. 31. ac [e] a'u rhwygodd hwynt; a'r holl wŷr
a 13. 31. hefyd y rhai *oedd* gyd ag ef.
12 Galarasant hefyd, ac wylasant, ac
ymprydiasant hyd yr hwyr, am Saul ac
am Jonathan ei fab, ac am bobl yr Ar-
glwydd, ac am dŷ Israel; o herwydd
iddynt syrthio trwy 'r cleddyf.
13 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrth y
llangc oedd yn mynegi *hyn* iddo, O ba le
§ *y daethost di?* § y'th *henyw* di? Yntau a ddywedodd,
Mab i wr dieithr o Amaleciad *ydwyf* fi.
f Psal. 105. 14 A dywedodd Dafydd wrtho, [f] Pa
15. fodd nad ofnaist ti estyn dy law, i ddifetha
enneiniog yr Arglwydd?
g Pen. 4. 15 A [g] Dafydd a alwodd ar un o'r gweis-
10. ion, ac a ddywedodd, Nesâ, rhuthra iddo
ef. Ac efe a'i tarawodd ef, fel y bu efe
farw.
16 A dywedodd Dafydd wrtho ef, *Bydded*
dy waed di ar dy ben dy hun: canys dy
enau dy hun a dystiolaethodd yn dy erbyn,
gan ddywedyd, Myfi a leddais enneiniog yr
Arglwydd.

17 ¶ A Dafydd a alarnadodd yr alarnad
hon am Saul ac am Jonathan ei fab:
18 (Dywedodd hefyd am ddysgu meibion
Judah *i saethu* â bwa: wele, *y mae'n* ysgrif-
enedig [h] yn llyfr ‖ Jaser) h Jos. 10.
19 Oh ardderchowgrwydd Israel, efe a 13.
archollwyd ar dy uchelfaoedd di: pa fodd y ‖ Neu,
cwympodd y cedyrn! *yr union.*
20 [i] Nac adroddwch *hyn* yn Gath; na i Mic. 1.
fynegwch yn heolydd Ascelon: rhag [k] llaw- 10.
enychu merched y Philistiaid, rhag gorfo- Edrych Barn. 16.
leddu o ferched y rhai dienwaededig. 23.
21 Oh fynyddoedd Gilboa, na *ddisgyned* k Edrych
arnoch chwi wlith na gwlaw, na meus- 1 Sam. 18.
ydd o offrymmau: canys yno y bwriwyd 6.
ymaith darian y cedyrn yn ddirmygus,
tarian Saul, *fel pe buasai* heb *ei* enneinio
ag olew.
22 Oddi wrth waed y lladdedigion, oddi
wrth frasder y cedyrn, ni throdd bwa Jo-
nathan yn ol, a chleddyf Saul ni ddychwel-
odd yn wag.
23 Saul a Jonathan *oedd* gariadus ac † an- † Neu,
wyl yn eu bywyd, ac yn eu marwolaeth ni *hyfryd,*
wahanwyd hwynt: cynt oeddynt nâ'r neu, *ber-*
eryrod, *a* chryfach oeddynt nâ'r llewod. *aidd.*
24 Merched Israel, wylwch am Saul, yr
hwn oedd yn eich dilladu chwi ag ysgar-
lad, gyd ag hyfrydwch, yr hwn oedd yn
gwisgo addurn-wisg aur ar eich dillad
chwi.
25 Pa fodd y cwympodd y cedyrn yngha-
nol y rhyfel! Jonathan, *ti* a laddwyd ar dy
uchelfaoedd.
26 Gofid *sydd* arnaf am danat ti, fy
mrawd Jonathan: cu iawn fuost gennyf
fi: rhyfeddol oedd dy gariad tu ag attaf fi,
tu hwnt i gariad gwragedd.
27 Pa fodd y syrthiodd y cedyrn, ac y
difethwyd arfau rhyfel!

## PEN. II.

*1 Dafydd, ar archiad Duw, yn myned gyd â'i wŷr i Hebron; lle y gwnaed ef yn frenhin ar Judah: 5 yn canmol gwŷr Jabes Gilead, am eu caredigrwydd i Saul. 8 Abner yn gwneuthur Isboseth yn frenhin ar Israel. 12 Ymladd creulon rhwng deuddeg o wŷr Abner a deuddeg o wŷr Joab. 18 Lladd Asahel. 25 Joab, ar ddeisyfiad Abner, yn galw y bobl yn ol. 32 Claddedigaeth Asahel.* Ebrill 15. B.

AC ar ol hyn [a] yr ymofynodd Dafydd 1056.
â'r Arglwydd, gan ddywedyd, A a Barn. 1.
af fi i fynu i'r un o ddinasoedd Judah? A'r 1. 1 Sam. 23.
Arglwydd a ddywedodd wrtho ef, Dos i 2, 4, 9. a 30.
fynu. A dywedodd Dafydd, I ba le yr af i 7, 8.
fynu? Dywedodd yntau, I Hebron.
2 A Dafydd a aeth i fynu yno, a'i ddwy
wragedd hefyd, Ahinoam y Jezreelees, ac
Abigail gwraig Nabal y Carmeliad.
3 A Dafydd a ddug i fynu ei wŷr y rhai
*oedd* gyd ag ef, pob un â'i deulu: a hwy a
arhosasant yn ninasoedd Hebron.
4 [b] A gwŷr Judah a ddaethant, ac a enneini- 1055.
asant Ddafydd yno yn frenhin ar dŷ Judah. b 1 Mac. 2.
A mynegasant i Ddafydd, gan ddywedyd, 57.
*mai* [c] gwŷr Jabes Gilead a gladdasent Saul. c 1 Sam. 31.
5 ¶ A Dafydd a anfonodd genhadau at 13.
wŷr Jabes Gilead, ac a ddywedodd wrth-
ynt, [d] Bendigedig *ydych* chwi gan yr Ar- d Ruth 2.
glwydd, y rhai a wnaethoch y drugaredd 20. a 3. 10.
hon â'ch arglwydd Saul, ac a'i claddasoch ef.

6 Ac yn awr yr ARGLWYDD a wnelo â
chwi drugaredd a gwirionedd: minnau
hefyd a dalaf i chwi am y daioni hwn, oble-
gid i chwi wneuthur y peth hyn.
7 Yn awr gan hynny ymnerthed eich
dwylaw, a byddwch feibion grymmus:
canys marw a fu eich arglwydd Saul, a thŷ
Judah a'm henneiniasant innau yn frenhin
arnynt.
8 ¶ Ond Abner mab Ner, tywysog y
filwriaeth *oedd* gan Saul, a gymmerth
† Esbaal, 1 Chron. 8. 33. a 9. 39. † Isboseth fab Saul, ac a'i dug ef drosodd i
Mahanaim;
9 Ac efe a'i gosododd ef yn frenhin ar
Gilead, ac ar yr Assuriaid, ac ar Jezreel, ac
ar Ephraim, ac ar Benjamin, ac ar holl Israel.
1055. 10 Mab deugein-mlwydd *oedd* Isboseth
mab Saul, pan ddechreuodd deyrnasu ar
Israel; a dwy flynedd y teyrnasodd efe. Tŷ
Judah yn unig oedd gyd â Dafydd.
e Pen. 5. 5. 1 Bren. 2. 11. 11 (A [e] rhifedi 'r dyddiau y bu Dafydd
yn frenhin yn Hebron ar dŷ Judah, oedd
saith mlynedd, a chwe mis)
12 ¶ Ac Abner mab Ner, a gweision Is-
boseth fab Saul, a aethant allan o Maha-
naim i Gibeon.
Cylch 1053. 13 Joab hefyd mab Serfiah, a gweision
Dafydd, a aethant allan, ac a gyfarfuant
f Jer. 41. 12. ynghŷd wrth [f] llynn Gibeon: a hwy a ei-
steddasant wrth y llynn, rhai o'r naill du, a'r
lleill wrth y llynn o'r tu arall.
14 Ac Abner a ddywedodd wrth Joab, Cy-
foded yn awr y llangciau, a chwareuant ger
ein bronnau ni. A dywedodd Joab, Cy-
fodant.
15 Yna y cyfodasant, ac yr aethant dros-
odd dan rif, deuddeg o Benjamin, *sef* oddi
wrth Isboseth fab Saul, a deuddeg o weis-
ion Dafydd.
16 A phob un a ymaflodd ym mhen ei
gilydd, ac *a yrrodd* ei gleddyf yn ystlys ei
gyfaill; felly y cyd-syrthiasant hwy. Am
‡ Maes y cedyrn. hynny y galwyd y lle hwnnw ‡ Helcath
Hassurim, yn Gibeon.
17 A bu ryfel caled iawn y dwthwn hwn-
nw; a tharawyd Abner, a gwŷr Israel, o
flaen gweision Dafydd.
g 1 Chron. 2. 16. 18 ¶ A [g] thri mab Serfiah oedd yno,
Joab, ac Abisai, ac Asahel: ac Asahel *oedd*
h 2 Chron. 12. 8. [h] *mor* fuan ar ei draed ag un o'r iyrchod
*sydd* yn y maes.
19 Ac Asahel a ddilynodd ar ol Abner;
ac wrth fyned ni throdd ar y tu dehau nac
ar y tu aswy, oddi ar ol Abner.
20 Yna Abner a edrychodd o'i ol, ac a
ddywedodd, Ai tydi *yw* Asahel? A dywed-
odd yntau, *Ie* myfi.
21 A dywedodd Abner wrtho ef, Tro ar
dy law ddehau, neu ar dy law aswy, a dal it'
§ Neu, yspail. un o'r llangciau, a chymmer it' ei § arfau ef.
Ond ni fynnai Asahel droi oddi ar ei ol ef.
22 Ac Abner a ddywedodd eilwaith wrth
Asahel, Cilia oddi ar fy ol i: pa ham y
tarawaf di i lawr? canys pa fodd y codwn fy
ngolwg ar Joab dy frawd di *wedi hynny?*
23 Ond efe a wrthododd ymado. Am
hynny Abner a'i tarawodd ef â bon y wayw-
i Pen. 3. 27. a 4. 6. a 20. 10. ffon [i] dan y bummed *ais*, a'r waywffon a
aeth allan o'r tu cefn iddo; ac efe a syrth-
iodd yno, ac a fu farw yn ei le: a phawb
a'r oedd yn dyfod i'r lle y syrthiasai Asahel
ynddo, ac y buasai farw, a safasant.
24 Joab hefyd ac Abisai a erlidiasant ar
ol Abner: pan fachludodd yr haul, yna
y daethant hyd fryn Ammah, yr hwn *sydd*
gyferbyn a Giah, tu ag anialwch Gibeon.

25 ¶ A meibion Benjamin a ymgasglasant
ar ol Abner, ac a aethant yn un fintai, ac a
safasant ar ben bryn.
26 Yna Abner a alwodd ar Joab, ac a
ddywedodd, Ai byth y difa 'r cleddyf?
oni wyddost ti y bydd chwerwder yn y
diwedd? hyd ba bryd gan hynny y byddi
heb ddywedyd wrth y bobl am ddychwelyd
oddi ar ol eu brodyr?
27 A dywedodd Joab, *Fel mai* byw DUW,
oni [k] buasai *yr hyn* a ddywedaist, diau yna k Adn. 14.
‖ y bore 'r aethai 'r bobl † i fynu, bob un ‖ Heb.
oddi ar ol ei frawd. *er y bore.*
28 Felly Joab a udganodd mewn udgorn; † Neu,
a'r holl bobl a safasant, ac nid erlidiasant *ymaith.*
mwyach ar ol Israel, ac ni 'chwanegasant
ymladd mwyach.
29 Ac Abner a'i wŷr a aethant trwy 'r
gwastadedd ar hŷd y nos honno, ac a aeth-
ant dros yr Iorddonen, ac a aethant trwy
holl Bithron, a daethant i Mahanaim.
30 A Joab a ddychwelodd oddi ar ol
Abner: ac wedi iddo gasglu 'r holl bobl
ynghŷd, yr oedd yn eisiau o weision Dafydd
bedwar gwr ar bymtheg, ac Asahel.
31 A gweision Dafydd a darawsent o
Benjamin, ac o wŷr Abner, dri chant a thri
ugain gwr, *fel* y buant feirw.
32 ¶ A hwy a gymmerasant Asahel, ac a'i
claddasant ef ym meddrod ei dad, yr hwn
*oedd* yn Bethlehem. A Joab a'i wŷr a ger-
ddasant ar hŷd y nos, ac yn Hebron y goleu-
odd arnynt.

## PEN. III.

1 *Dafydd yn myned yn gryfach tra y par-* Ebrill 15.
*haodd y rhyfel. 2 Geni chwe mab iddo ef* P.
*yn Hebron. 6 Abner yn anfoddlon i Isbo-*
*seth, 12 yn cilio at Ddafydd. 13 Dafydd*
*yn ei dderbyn ef, dan ammod iddo ef ddwyn*
*iddo ei wraig Michal. 17 Abner, wedi ym-*
*ddiddan â'r Israeliaid, yn cael gwledd gan*
*Ddafydd, a'i ollwng ymaith. 22 Joab yn*
*dychwelyd o'r rhyfel, yn anfoddlawn i*
*Ddafydd, ac yn lladd Abner. 28 Dafydd yn*
*melldithio Joab, 31 ac yn galaru am Abner.*

ABu ryfel hir rhwng tŷ Saul a thŷ Dda- Cylch
fydd: a Dafydd oedd yn myned gryf- 1053.
ach gryfach, ond tŷ Saul oedd yn myned
wannach wannach.
2 ¶ [a] A meibion a anwyd i Ddafydd yn a 1 Chron.
Hebron: a'i gyntaf-anedig ef oedd Amnon, 3. 1.
o Ahinoam y Jezreelees;
3 A'i ail *fab oedd* † Chileab, o Abigail † Neu,
gwraig Nabal y Carmeliad; a'r trydydd, *Daniel,* 1 Chron. 3.
Absalom, mab Maachah, ferch Talmai bren- 1.
hin Gesur;
4 A'r pedwerydd, Adonïah, mab Hag-
gith; a'r pummed, Sephatïah, mab Abital;
5 A'r chweched, Ithream, o Eglah gwraig
Ddafydd. Y rhai hyn a anwyd i Ddafydd
yn Hebron.
6 ¶ A thra 'r ydoedd rhyfel rhwng tŷ 1048.
Saul a thŷ Ddafydd, yr oedd Abner yn
ymegnïo dros dŷ Saul.
7 Ond i Saul *y buasai* ordderchwraig a'i
henw [b] Rispah, merch Aiah: ac *Isboseth* a b Pen. 21.
ddywedodd wrth Abner, Pa ham yr aethost 8.
i mewn at ordderchwraig fy nhad?
8 Yna y digiodd Abner yn ddirfawr o
herwydd geiriau Isboseth, ac a ddywedodd,
Ai [c] pen ci *ydwyf* fi, yr hwn ydwyf heddyw c Deut. 23.
yn erbyn Judah yn gwneuthur trugaredd â 18.
thŷ Saul dy dad di, â'i frodyr, ac â'i gyf- 1 Sam. 24.
eillion, a heb dy roddi di yn llaw Dafydd, 14.
pan osodaist i'm herbyn fai *am* y wraig hon Pen. 9. 8. a
heddyw? 16. 9.

[d] Rath 1. 17. 1 Bren. 19. 2.

9 [d] Fel hyn y gwnelo DUW i Abner, ac fel hyn y chwanego iddo, ond megis y tyngodd yr ARGLWYDD wrth Ddafydd, felly y gwnaf iddo ef;

10 Gan droi 'r frenhiniaeth oddi wrth dŷ Saul, a dyrchafu gorseddfaingc Dafydd ar Israel, ac ar Judah, [e] o Ddan hyd Beer-seba.

[e] Barn. 20. 1. 1 Bren. 4. 25.

11 Ac ni feiddiodd efe mwyach atteb gair i Abner, rhag ei ofn ef.

12 ¶ Ac Abner a anfonodd genhadau at Ddafydd drosto ei hun, gan ddywedyd, Eiddo pwy *yw* 'r wlad? *a* chan ddywedyd, Gwna gyfammod â mi; ac wele, fy llaw i *fydd* gyd â thi, i droi attat ti holl Israel.

13 ¶ A dywedodd yntau, Da; myfi a wnaf gyfammod â thi: etto un peth yr ydwyf fi yn ei geisio gennyt, gan ddywedyd, Ni weli fy wyneb, oni ddygi di yn gyntaf Michal ferch Saul, pan ddelech i edrych yn fy wyneb.

14 A Dafydd a anfonodd genhadau at Isboseth fab Saul, gan ddywedyd, Dyro *i mi* fy ngwraig Michal, yr hon a ddyweddiais i mi [f] am gant o flaen-grwyn y Philistiaid.

[f] 1 Sam. 18. 25, 27.

15 Ac Isboseth a anfonodd, ac a'i dug hi oddi wrth *ei* gwr, *sef* oddi wrth [g] Phaltiel fab Laïs.

[g] 1 Sam. 25. 44, *Phalti.*

16 A'i gwr a aeth gyd â hi, gan fyned ac wylo ar ei hol hi, hyd Bahurim. Yna y dywedodd Abner wrtho ef, Dos, dychwel. Ac efe a ddychwelodd.

17 ¶ Ac Abner a lefarodd wrth henuriaid Israel, gan ddywedyd, † Cyn hyn yr oeddych chwi 'n ceisio Dafydd yn frenhin arnoch.

† Heb. *Doe ac echdoe.*

18 Ac yn awr gwnewch *hynny:* canys yr ARGLWYDD a lefarodd am Ddafydd, gan ddywedyd, Trwy law Dafydd fy ngwas y gwaredaf fy mhobl Israel o law y Philistiaid, ac o law eu holl elynion.

19 Dywedodd Abner hefyd wrth Benjamin. Ac Abner a aeth i ymddiddan â Dafydd yn Hebron, am yr hyn oll *oedd* dda yngolwg Israel, ac yngolwg holl dŷ Benjamin.

20 Felly Abner a ddaeth at Ddafydd i Hebron, ac ugeinwr gyd ag ef. A Dafydd a wnaeth wledd i Abner, ac i'r gwŷr *oedd* gyd ag ef.

21 A dywedodd Abner wrth Ddafydd, Mi a gyfodaf, ac a af, ac a gasglaf holl Israel at fy arglwydd frenhin, fel y gwnelont gyfammod â thi, ac y teyrnasech di ar yr hyn oll a chwennych dy galon. A Dafydd a ollyngodd Abner ymaith; ac efe a aeth mewn heddwch.

22 ¶ Ac wele, weision Dafydd a Joab yn dyfod oddi wrth y dorf, ac anrhaith fawr a ddygasent hwy ganddynt (ond nid *oedd* Abner gyd â Dafydd yn Hebron; canys efe a'i gollyngasai ef ymaith, ac yntau a aethai mewn heddwch)

23 Pan ddaeth Joab a'r holl lu *oedd* gyd ag ef, mynegwyd i Joab, gan ddywedyd, Abner mab Ner a ddaeth at y brenhin; ac efe a'i gollyngodd ef ymaith, ac efe a aeth mewn heddwch.

24 A Joab a ddaeth at y brenhin, ac a ddywedodd, Beth a wnaethost ti? wele, daeth Abner attat ti; pa ham y gollyngaist ef i fyned ymaith?

25 Ti a adwaenit Abner fab Ner, mai i'th dwyllo di y daeth efe, ac i wybod dy fynediad allan, a'th ddyfodiad i mewn, ac i wybod yr hyn oll yr wyt ti yn ei wneuthur.

26 A Joab a aeth allan oddi wrth Ddafydd, ac a anfonodd genhadau ar ol Abner; a hwy a'i dygasant ef yn ol oddi wrth ffynnon Sirah, heb wybod i Ddafydd.

27 A phan ddychwelodd Abner i Hebron, Joab [h] a'i trodd ef o'r neilldu yn y porth, i ymddiddan ag ef mewn heddwch; ac a'i tarawodd ef yno [i] dan y bummed *ais*, fel y bu efe farw, o herwydd gwaed [k] Asahel ei frawd ef.

[h] 1 Bren. 2. 5. [i] Pen. 4. 6. [k] Pen. 2. 23.

28 ¶ Ac wedi hynny y clybu Dafydd, ac y dywedodd, Dieuog *ydwyf* fi a'm brenhiniaeth ger bron yr ARGLWYDD byth, oddi wrth waed Abner fab Ner:

29 Syrthied ar ben Joab, ac ar holl dŷ ei dad ef; fel na ‡ phallo *fod un* o dŷ Joab yn ddiferllyd, neu'n wahan-glwyfus, neu'n ymgynnal wrth fagl, neu'n syrthio ar gleddyf, neu mewn eisiau bara.

‡ Heb. *thorrer ymaith.*

30 Felly Joab ac Abisai ei frawd ef a laddasant Abner, o herwydd lladd o hono ef [l] Asahel eu brawd hwynt mewn rhyfel yn Gibeon.

[l] Pen. 2. 23.

31 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrth Joab, ac wrth yr holl bobl *oedd* gyd ag ef, [m] Rhwygwch eich dillad, ac [n] ymwregyswch mewn sachliain, a galerwch o flaen Abner. A'r brenhin Dafydd oedd yn myned ar ol § yr elor.

[m] Jos. 7. 6 [n] Gen. 37. 34. § Heb. *y gwely.*

32 A hwy a gladdasant Abner yn Hebron. A'r brenhin a ddyrchafodd ei lef, ac a wylodd wrth fedd Abner; a'r holl bobl a wylasant.

33 A'r brenhin a alarnadodd am Abner, ac a ddywedodd, Ai fel y mae 'r ynfyd yn marw, y bu farw Abner?

34 Dy ddwylaw nid *oeddynt* yn rhwym, ac nid oedd dy draed wedi eu rhoddi mewn egwydydd: syrthiaist fel y syrthiai un o flaen meibion enwir. A'r holl bobl a 'chwanegasant wylo am dano ef.

35 A phan ddaeth yr holl bobl i beri i Ddafydd fwytta bara, a hi etto yn ddydd, Dafydd a dyngodd, gan ddywedyd, Fel hyn y gwnelo DUW i mi, ac fel hyn y 'chwanego, os archwaethaf fara, na dim oll, nes machludo 'r haul.

36 A'r holl bobl a wybuant *hynny*, a da oedd *hyn* yn eu golwg hwynt: a'r hyn oll a wnai 'r brenhin, oedd dda yngolwg y bobl.

37 A'r holl bobl a holl Israel a wybuant y diwrnod hwnnw, na ddarfuasai o fodd y brenhin ladd Abner fab Ner.

38 A'r brenhin a ddywedodd wrth ei weision, Oni wyddoch chwi i dywysog ac i wr mawr syrthio heddyw yn Israel?

|| Heb. *dyner.*

39 A minnau *ydwyf* || eiddil heddyw, er fy enneinio yn frenhin; a'r gwŷr hyn, [o] meibion Serfiah, *sy* rŷ galed i mi. [p] Yr ARGLWYDD a dal i'r hwn a wnaeth y drwg yn ol ei ddrygioni.

[o] Pen. 19. 7. [p] Edrych Pen. 19. 13. 1 Bren. 2. 5, 6, 33, 34.

## PEN. IV.

1 *Tra'r oedd yr Israeliaid yn ddychrynedig o achos marwolaeth Abner,* 2 *Baanah a Rechab yn lladd Isboseth, ac yn dwyn ei ben ef i Hebron.* 9 *Dafydd yn peri eu lladd hwythau, a chladdu pen Isboseth.*

Ebrill 16. B.

1048.

A Phan glybu mab Saul farw o Abner yn Hebron, ei ddwylaw a laesasant, a holl Israel a † ofnasant.

† Neu, *drallodwyd.*

2 A dau wr oedd gan fab Saul yn dywysogion *ar* dorfoedd: enw un *oedd* Baanah, ac enw 'r ail Rechab, meibion Rimmon y Beerothiad, o feibion Benjamin: (canys [a] Beeroth hefyd a gyfrifid i Benjamin:

[a] Jos. 18. 25.

b Neh. 11. 33.

3 A'r Beerothiaid a ffoisent i b Gittaim, ac a fuasent yno yn ddïeithriaid hyd y dydd hwn)

c Pen. 9. 3.

4 Ac i c Jonathan, fab Saul, *yr oedd* mab cloff o'i draed. Mab pum mlwydd oedd efe pan ddaeth y gair am Saul a Jonathan o Jezreel; a'i fammaeth a'i cymmerth ef, ac a ffodd: a bu, wrth frysio o honi i ffoi, iddo ef syrthio, fel y cloffodd efe. A'i enw ef *oedd* † Mephiboseth.

† Neu, *Merib-baal.* 1 Chron. 8. 34. a 9. 40.

5 A meibion Rimmon y Beerothiad, Rechab a Baanah, a aethant ac a ddaethant, pan wresogasai 'r dydd, i dŷ Isboseth; ac efe oedd yn gorwedd ar wely ganol dydd.

d Pen. 2. 23.

6 Ac wele, hwy a ddaethant i mewn i ganol y tŷ, *fel* rhai yn prynu gwenith; a hwy a'i tarawsant ef d dan y bummed *asen*: a Rechab a Baanah ei frawd a ddïangasant.

7 A phan ddaethant i'r tŷ, yr oedd efe yn gorwedd ar ei wely o fewn ystafell ei wely: a hwy a'i tarawasant ef, ac a dorrasant ei ben ef; ac a gymmerasant ei ben ef, ac a gerddasant trwy 'r gwastadedd ar hŷd y nos.

8 A hwy a ddygasant ben Isboseth at Ddafydd i Hebron; ac a ddywedasant wrth y brenhin, Wele ben Isboseth fab Saul, dy elyn di, yr hwn a geisiodd dy einioes di: a'r ARGLWYDD a roddes i'm harglwydd frenhin ddïal y dydd hwn ar Saul, ac ar ei had.

9 ¶ A Dafydd a attebodd Rechab a Baanah ei frawd, meibion Rimmon y Beerothiad, ac a ddywedodd wrthynt, *Fel mai* byw 'r ARGLWYDD, yr hwn a ryddhaodd fy enaid o bob cyfyngdra,

e Pen. 1. 2, 4, 15.

10 Pan e fynegodd *un* i mi, gan ddywedyd, Wele, bu farw Saul (ac yr oedd yn ei olwg ei hun megis un yn dwyn llawenchwedl) mi a ymaflais ynddo, ac a'i lleddais ef yn Siclag, ‡ yr hwn *a dybiasai* y rhoddaswn iddo obrwy am ei chwedl:

‡ Neu, *yr hyn oedd y gwobr a roddais iddo am,* &c.

11 Pa faint mwy *y gwnaf* i ddynion annuwiol a laddasant wr cyfion yn ei dŷ, ar ei wely? Yn awr, gan hynny, oni cheisiaf ei waed ef ar eich llaw chwi? ac *oni* thorraf chwi ymaith oddi ar y ddaear?

f Pen. 3. 32.

12 A Dafydd a orchymynodd i'w langciau; a hwy a'u lladdasant hwy, ac a dorrasant eu dwylaw hwynt a'u traed, ac a'*u* crogasant *hwy* uwch ben y llyn yn Hebron. Ond pen Isboseth a gymmerasant hwy, ac a'i claddasant ym f meddrod Abner, yn Hebron.

## PEN. V.

Ebrill 16. P.

1 *Y llwythau yn dyfod i Hebron i enneinio Dafydd yn frenhin ar Israel.* 4 *Oedran Dafydd.* 6 *Dafydd yn ynnill Sïon oddi ar y Jebusiaid, ac yn trigo ynddi.* 11 *Hiram yn anfon at Ddafydd.* 13 *Geni meibion iddo yn Jerusalem.* 17 *Dafydd, trwy gyfarwyddyd Duw, yn taraw y Philistiaid yn Baal-perasim,* 22 *ac wrth y morwŷdd.*

1048. a 1 Chron. 11. 1. b Gen. 29. 14.

YNA a holl lwythau Israel a ddaethant at Ddafydd i Hebron, ac a lefarasant, gan ddywedyd, Wele, b dy asgwrn di a'th gnawd *ydym* ni.

c 1 Sam. 18. 13. d 1 Sam. 16. 1, 13. Psal. 78. 71. Edrych Pen. 7. 7.

2 Cyn hyn hefyd, pan oedd Saul yn frenhin arnom ni, c ti oeddit yn arwain Israel allan, ac yn eu dwyn i mewn: a dywedodd yr ARGLWYDD wrthyt ti, d Ti a borthi fy mhobl Israel, a thi a fyddi yn flaenor ar Israel.

e Barn. 11. 11. 1 Sam. 23. 18.

3 Felly holl henuriaid Israel a ddaethant at y brenhin i Hebron: a'r brenhin Dafydd a wnaeth gyfammod â hwynt yn Hebron, e ger bron yr ARGLWYDD: a hwy a eneiniasant Ddafydd yn frenhin ar Israel.

4 ¶ Mab deng mlwydd ar hugain *oedd* Dafydd pan ddechreuodd deyrnasu; *a* deugain mlynedd y teyrnasodd efe.

f Pen. 2. 11. 1 Chron. 3. 4.

5 f Yn Hebron y teyrnasodd efe ar Judah saith mlynedd a chwe mis: ac yn Jerusalem y teyrnasodd efe dair blynedd ar ddeg ar hugain ar holl Israel a Judah.

g Jos. 15. 63. Barn. 1. 8. a 19. 11, 12. † Neu, *ddywedyd.*

6 ¶ A'r brenhin a'i wŷr a aethant i Jerusalem, at g y Jebusiaid, preswylwŷr y wlad: y rhai a lefarasant wrth Ddafydd, gan ddywedyd, Ni ddeui di yma, oni thynni ymaith y deillion a'r cloffion: gan † dybied, Ni ddaw Dafydd yma.

h Adn. 9. 1 Bren. 2. 10.

7 Ond Dafydd a ynnillodd amddiffynfa Sïon: honno *yw* h dinas Dafydd.

i 1 Chron. 11. 6. ‡ Neu, *Am iddynt ddywedyd, sef y dall a'r cloff, Ni ddaw efe i mewn,* &c.

8 i A dywedodd Dafydd y dwthwn hwnnw, Pwy bynnag a elo i fynu i'r gwtter, ac a darawo'r Jebusiaid, a'r cloffion, a'r deillion, *y rhai sy* gas gan enaid Dafydd, *hwnnw fydd blaenor.* ‡ Am hynny y dywedasant, Y dall a'r cloff ni ddaw i mewn i'r tŷ.

9 A Dafydd a drigodd yn yr amddiffynfa, ac a'i galwodd hi, Dinas Dafydd. A Dafydd a adeiladodd oddi amgylch, o Milo ac oddi mewn.

§ Heb. *gan fyned a chynnyddu.*

10 A Dafydd a aeth rhagddo, § ac a gynnyddodd yn fawr; ac ARGLWYDD DDUW y lluoedd *oedd* gyd ag ef.

Cylch 1043. k 1 Bren. 5. 2. 1 Chron. 14. 1. ‖ Heb. *naddwŷr maeni y mur.*

11 ¶ A k Hiram brenhin Tyrus a anfonodd genhadau at Ddafydd, a choed cedr, a seiri prennau, a ‖ seiri meini: a hwy a adeiladasant dŷ i Ddafydd.

12 A gwybu Dafydd i'r ARGLWYDD ei sicrhâu ef yn frenhin ar Israel, a dyrchafu o hono ei frenhiniaeth ef er mwyn ei bobl Israel.

l 1 Chron. 3. 9. a 14. 3.

13 ¶ A l Dafydd a gymmerodd etto orderchwragedd a gwragedd o Jerusalem, wedi iddo ddyfod o Hebron: a ganwyd etto i Ddafydd feibion a merched.

m 1 Chron. 3. 5.

14 A m dyma enwau 'r rhai a anwyd iddo ef yn Jerusalem; Sammua, a Sobab, a Nathan, a Salomon,

15 Ibhar hefyd, ac Elisua, a Nepheg, a Japhïa,

16 Elisama *hefyd,* ac Elïada, ac Eliphalet.

1047. n 1 Chron. 11. 16. a 14. 8.

17 ¶ n Ond pan glybu 'r Philistiaid iddynt enneinio Dafydd yn frenhin ar Israel, yr holl Philistiaid a ddaethant i fynu i geisio Dafydd. A Dafydd a glybu, ac a aeth i wared i'r amddiffynfa.

o Jos. 15. 8.

18 A'r Philistiaid a ddaethant, ac a ymdaenasant yn o nyffryn Rephaim.

p Pen. 2. 1.

19 A Dafydd p a ymofynodd â'r ARGLWYDD, gan ddywedyd, A af fi i fynu at y Philistiaid? a roddi di hwynt yn fy llaw i? A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Ddafydd, Dos i fynu: canys gan roddi y rhoddaf y Philistiaid yn dy law di.

q Esay 28. 21. † *Maes y gwahaniadau.*

20 A Dafydd a ddaeth i q Baal-perasim; a Dafydd a'u tarawodd hwynt yno; ac a ddywedodd, Yr ARGLWYDD a wahanodd fy ngelynion o'm blaen i, megis gwahanu dyfroedd. Am hynny y galwodd efe enw y lle hwnnw, † Baal-perasim.

r 1 Chron. 14. 12. ‡ Neu, *dug hwynt ymaith.*

21 Ac yno y gadawsant hwy eu delwau; a Dafydd a'i wŷr r a'u ‡ llosgodd hwynt.

22 ¶ A'r Philistiaid etto a chwanegasant ddyfod i fynu, ac a ymdaenasant yn nyffryn Rephaim.

s Adn. 19.

23 A s Dafydd a ymofynodd â'r ARGLWYDD; ac efe a ddywedodd, Na ddos i fynu: amgylchyna o'r tu ol iddynt, a thyred arnynt hwy gyferbyn a'r morwŷdd.

24 A phan glywech drwst cerddediad ym mrig y morwŷdd, yna ymegnïa: canys

t Barn. 4. 14.

yna 'r [t] ARGLWYDD a â allan o'th flaen di,
i daro gwersyll y Philistiaid.
25 A Dafydd a wnaeth megis y gorchy-
mynasai 'r ARGLWYDD iddo ef; ac a da-
rawodd y Philistiaid o Geba, hyd oni ddelech
i Gazer.

## PEN. VI.

Ebrill 17. B.

1 *Dafydd yn cyrchu 'r arch o Ciriath-jearim ar fenn newydd.* 6 *Taro Uzzah yn Peres Uzzah.* 11 *Duw yn bendithio Obed-Edom o achos yr arch.* 12 *Dafydd yn dwyn yr arch i Sion gyd ag aberthau, ac yn dawnsio o'i blaen hi; a Michal yn ei ddirmygu ef am hynny.* 17 *Efe yn gosod yr arch mewn pabell, gyd â llawenydd mawr a gwledda.* 20 *Michal, am geryddu Dafydd am ei lawenydd duwiol, yn ammhlantadwy hyd farwolaeth.*

Cylch 1042.

A Chasglodd Dafydd etto 'r holl ethol-
edigion yn Israel, *sef* deng mil ar
hugain.
2 A [a] Dafydd a gyfododd, ac a aeth, a'r
holl bobl *oedd* gyd ag ef, o † Baale Judah,
i ddwyn i fynu oddi yno arch DUW;
‡ enw 'r hon a elwir *ar* enw ARGLWYDD y
lluoedd, [b] yr hwn sydd yn aros arni *rhwng*
y cerubiaid.
3 A hwy a § osodasant arch DUW [c] ar
fenn newydd; ac a'i dygasant hi o [d] dŷ
Abinadab yn ‖ Gibeah: Uzzah *hefyd* ac
Ahïo, meibion Abinadab, *oedd* yn gyrru 'r
fenn newydd.
4 A hwy a'i dygasant hi o dŷ Abinadab
yn Gibeah, gyd ag arch DUW; ac Ahïo *oedd*
yn myned o flaen yr arch.
5 Dafydd hefyd a holl dŷ Israel oedd yn
chwarae ger bron yr ARGLWYDD, â phob
*offer o* goed ffynnidwŷdd, sef â thelynau, ac
â nablau, ac â thympanau, ac ag udgyrn,
ac â symbalau.
6 ¶ A phan ddaethant i lawr-dyrnu
[e] Nachon, Uzzah [f] a estynodd *ei law* at arch
DUW, ac a ymaflodd ynddi hi; canys yr
ychen † oedd yn *ei* hysgwyd.
7 A digofaint yr ARGLWYDD a lidiodd
wrth Uzzah; a DUW [g] a'i tarawodd ef yno
am ‡ *yr* amryfusedd *hyn;* ac efe a fu farw
yno wrth arch DUW.
8 A bu ddrwg gan Ddafydd, am i'r AR-
GLWYDD rwygo rhwygiad ar Uzzah: ac efe
a alwodd y lle hwnnw § Peres Uzzah, hyd y
dydd hwn.
9 A [h] Dafydd a ofnodd yr ARGLWYDD y
dydd hwnnw; ac a ddywedodd, Pa fodd y
daw arch yr ARGLWYDD attaf fi?
10 Ac ni fynnai Dafydd fudo arch yr
ARGLWYDD atto ef i ddinas Dafydd: ond
Dafydd a'i trodd hi i dŷ Obed-Edom y
Gethiad.
11 Ac arch yr ARGLWYDD a arhosodd
yn nhŷ Obed-Edom y Gethiad dri mis: a'r
ARGLWYDD a fendithiodd Obed-Edom, a'i
holl dŷ.
12 ¶ A mynegwyd i'r brenhin Dafydd,
gan ddywedyd, Yr ARGLWYDD a fendithiodd
dŷ Obed-Edom, a'r hyn oll *oedd* ganddo, er
mwyn arch DUW. [i] Yna Dafydd a aeth, ac
a ddug i fynu arch DUW o dŷ Obed-Edom,
i ddinas Dafydd, mewn llawenydd.
13 A phan gychwynodd y rhai oedd yn
dwyn arch yr ARGLWYDD chwech o gamrau,
yna efe a offrymmodd [k] ychen a phas-
gedigion.
14 A Dafydd [l] a ddawnsiodd â'i holl egni
ger bron yr ARGLWYDD; a Dafydd *oedd*
wedi ymwregysu ag ephod lïain.

a 1 Chron. 13. 5, 6. † Neu, *Baala; sef Ciriath-jearim,* Jos. 15. 9, 60. ‡ Neu, *wrth yr hon y gelwyd ar yr enw, sef enw Arglwydd,* &c. b 1 Sam. 4. 4. § Heb. *wnaethant i arch Duw farchogaeth.* c Edrych Num. 7. 9. d 1 Sam. 6. 7. 1 Sam. 7. 1. ‖ Neu, *y bryn.* e 1 Chron. 13. 9, a elwir *Chidon.* f Edrych Num. 4. 15. † Neu, *a dramgwyddasant.* g 1 Sam. 6. 19. ‡ Neu, *rhudhrydd.* § Sef, *Rhwyg Uzzah.* h Edrych Luc 5. 8, 9. i 1 Chron. 15. 25. k Edrych 1 Chron. 15. 26. l Edrych Exod. 15. 20.

15 Felly Dafydd a holl dŷ Israel a ddyg-
asant i fynu arch yr ARGLWYDD, trwy
floddest, a sain udgorn.
16 Ac [m] fel yr oedd arch yr ARGLWYDD
yn dyfod i mewn i ddinas Dafydd, yna Mi-
chal merch Saul a edrychodd trwy ffenestr,
ac a ganfu 'r brenhin Dafydd yn neidio, ac
yn llemmain o flaen yr ARGLWYDD; a hi
a'i dirmygodd ef yn ei chalon.
17 ¶ A [n] hwy a ddygasant i mewn arch
yr ARGLWYDD, ac a'i gosodasant yn [o] ei
lle, ynghanol y babell, yr hon a ‖ osodasai
Dafydd iddi. A Dafydd a offrymmodd
boeth-offrymmau ac offrymmau hedd ger
bron yr ARGLWYDD.
18 Ac wedi gorphen o Ddafydd offrym-
mu poeth-offrwm ac offrymmau hedd, [p] efe
a fendithiodd y bobl yn enw ARGLWYDD y
lluoedd.
19 Ac efe a rannodd i'r holl bobl, *sef* i
holl dyrfa Israel, yn wr ac yn wraig, i bob
un deisen o fara, ac un dryll *o gig,* ac un
gostrelaid *o win.* Felly 'r aeth yr holl bobl
bawb i'w dŷ ei hun.
20 ¶ Yna y dychwelodd Dafydd i fendigo
ei dŷ: a Michal merch Saul a ddaeth i gyf-
arfod Dafydd; ac a ddywedodd, Oh mor
ogoneddus oedd brenhin Israel heddyw,
yr hwn a ymddïosgodd heddyw yngŵydd
llaw-forwynion ei weision, fel yr ymddï-
osgai un o'r ynfydion gan ymddïosg!
21 A dywedodd Dafydd wrth Michal, Ger
bron yr ARGLWYDD, [q] yr hwn a'm dewisodd
i o flaen dy dad di, ac o flaen ei holl dŷ ef,
gan orchymyn i mi fod yn flaenor ar bobl
yr ARGLWYDD, ar Israel, *y chwareuais:* a
mi a chwareuaf ger bron yr ARGLWYDD.
22 Byddaf etto waelach nâ hyn, a byddaf
ddirmygus yn fy ngolwg fy hun: a chyd â'r
llaw-forwynion (*am* y rhai y dywedaist
wrthyf) y'm gogoneddir.
23 Am hynny i Michal merch Saul ni bu
etifedd [r] hyd ddydd ei marwolaeth.

m 1 Chron. 15. 29. n 1 Chron. 16. 1. o 1 Chron. 15. 1. ‖ Heb. *estynasai.* p 1 Chron. 16. 2. q 1 Sam. 13. 14. r Edrych 1 Sam. 15. 35. Esay 22. 14. Mat. 1. 25.

## PEN. VII.

Ebrill 17. P.

1 *Nathan yn canmol amcan Dafydd ar adeiladu tŷ i'r Arglwydd;* 4 *ac ar ol hynny, trwy air Duw, yn gwarafun iddo.* 12 *Yn addaw iddo ddaioni a bendithion yn ei had.* 18 *Gweddi a diolch Dafydd.*

A [a] Phan eisteddodd y brenhin yn ei dŷ, 1042.
a rhoddi o'r ARGLWYDD lonydd iddo
ef rhag ei holl elynion oddi amgylch;
2 Yna y dywedodd y brenhin wrth Na-
than y prophwyd, Wele yn awr, fi yn
preswylio mewn [b] tŷ o gedrwŷdd, [c] ac arch
DUW yn aros o fewn y † cortynnau.
3 A Nathan a ddywedodd wrth y bren-
hin, Dos, gwna 'r hyn oll *sydd* yn dy galon:
canys yr ARGLWYDD *sydd* gyd â thi.
4 ¶ A bu, y noson honno, i air yr AR-
GLWYDD ddyfod at Nathan, gan ddywedyd,
5 Dos, a dywed wrth fy ngwas Dafydd,
Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; [d] Ai
tydi a adeiledi i mi dŷ, lle y cyfanedd-
wyf fi?
6 Canys nid arhosais mewn tŷ, [e] er y
dydd yr arweiniais blant Israel o'r Aipht,
hyd y dydd hwn, eithr bûm yn rhodio mewn
pabell ac mewn tabernacl.
7 Ym mha *le* bynnag y rhodiais gyd â
holl feibion Israel, a yngenais i air wrth
un o ‡ lwythau Israel, i'r rhai y gorchy-
mynais [f] borthi fy mhobl Israel, gan ddy-
wedyd, Pa ham nad adeiladasoch i mi dŷ o
gedrwŷdd?

a 1 Chron. 17. 1. b Pen. 5. 11. c Edrych Act. 7. 46. † Neu, *llenni.* d Edrych 1 Bren. 5. 3. 1 Chron. 22. 8. a 28. 3. e 1 Bren. 8. 16. ‡ A elwir *barnwŷr* 1 Chron. 17. 6. f Pen. 5. 2.

8 Ac yn awr fel hyn y dywedi wrth fy ngwas Dafydd; Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd; g Myfi a'th gymmerais di o'r gorlan, oddi ar ol y praidd, i fod yn flaenor ar fy mhobl, ar Israel.

9 A h bûm gyd â thi ym mha *le* bynnag y rhodiaist; torrais ymaith *hefyd* dy holl elynion di o'th flaen, a gwneuthum enw mawr i ti, megis enw y rhai mwyaf ar y ddaear.

10 (Gosodaf hefyd i'm pobl Israel le; a phlannaf ef, fel y trigo efe yn ei le ei hun, ac na symmudo mwyach: a meibion anwiredd ni 'chwanegant ei gystuddio ef, megis gynt;

11 *Sef* er y dydd yr ordeiniais i farnwŷr ar fy mhobl Israel, ac y rhoddais lonyddwch i ti oddi wrth dy holl elynion) A'r Arglwydd sydd yn mynegi i ti, i y gwna † efe dŷ i ti.

12 ¶ A k phan gyflawner dy ddyddiau di, a l huno o honot gyd â'th dadau, mi a gyfodaf dy had di ar dy ol, yr hwn a ddaw allan o'th ymysgaroedd di, a mi a gadarnhâf ei frenhiniaeth ef.

13 m Efe a adeilada dŷ i'm henw i; minnau a gadarnhâf orseddfaingc ei frenhiniaeth ef byth.

14 n Myfi a fyddaf iddo ef yn dad, ac yntau fydd i mi yn fab, o Os trosedda efe, mi a'i ceryddaf â gwïalen ddynol, ac â dyrnodiau meibion dynion:

15 Ond fy nhrugaredd nid ymedy ag ef, megis ag y tynnais *hi* oddi wrth Saul, yr hwn a fwriais ymaith o'th flaen di.

16 p A'th dŷ di a sicrhêir, a'th frenhiniaeth yn dragywydd o'th flaen di: dy orseddfaingc a sicrhêir byth.

17 Yn ol yr holl eiriau hyn, ac yn ol yr holl weledigaeth hon, felly y llefarodd Nathan wrth Ddafydd.

18 ¶ Yna 'r aeth y brenhin Dafydd i mewn, ac a eisteddodd ger bron yr Arglwydd; ac a ddywedodd, Pwy *ydwyf* fi, O Arglwydd Dduw? a pheth *yw* fy nhŷ, pan ddygit fi hyd yma?

19 Ac etto bychan oedd hyn yn dy olwg di, O Arglwydd Dduw; ond ti a leferaist hefyd am dŷ dy was dros hir amser: ai dyma ‡ arfer dyn, O Arglwydd Dduw?

20 A pha beth mwyach a ddywed Dafydd ychwaneg wrthyt? canys ti a adwaenost dy was, O Arglwydd Dduw.

21 Er mwyn dy air di, ac yn ol dy feddwl dy hun, y gwnaethost yr holl fawredd hyn, i beri i'th was *eu* gwybod.

22 Am hynny y'th fawrhawyd, O Arglwydd Dduw: canys q nid *oes* neb fel tydi, a nid *oes* Duw onid ti, yn ol yr hyn oll a glywsom ni â'n clustiau.

23 A r pha un genedl ar y ddaear *sydd* megis dy bobl, megis Israel, yr hon yr aeth Duw i'w gwaredu yn bobl iddo ei hun, ac i osod iddo enw, ac i wneuthur erochchwi bethau mawr ac ofnadwy dros dy dir, ger bron dy bobl y rhai a waredaist i ti o'r Aipht, *oddi wrth* y cenhedloedd a'u duwiau?

24 Canys ti a sicrheaist i ti dy bobl Israel yn bobl i ti byth: a thi, Arglwydd, ydwyt iddynt hwy yn Dduw.

25 Ac yn awr, O Arglwydd Dduw, cwblhâ byth y gair a leferaist am dy was, ac am ei dŷ ef, a gwna megis y dywedaist.

26 A mawrhâer dy enw yn dragywydd; gan ddywedyd, Arglwydd y lluoedd *sydd* Dduw ar Israel: a bydded tŷ dy was Dafydd wedi ei sicrhâu ger dy fron di.

27 Canys ti, O Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, a § fynegaist i'th was, gan ddywedyd, Adeiladaf dŷ i ti: am hynny dy was a gafodd yn ei galon weddïo attat ti y weddi hon.

28 Ac yn awr, O Arglwydd Dduw, tydi *sydd* Dduw, s a'th eiriau di sydd wirionedd, a thi a leferaist am dy was y daioni hwn:

29 Yn awr gan hynny rhynged bodd || it fendigo tŷ dy was, i fod ger dy fron di yn dragywydd: canys ti, O Arglwydd Dduw, a leferaist, ac â'th fendith di y bendithier tŷ dy was yn dragywydd.

g 1 Sam. 16. 11, 12. Psal. 78. 70.
h Pen. 8. 6, 14.
i Exod. 1. 21. 1 Bren. 2. 24.
† Heb. *yr Arglwydd.*
k 1 Bren. 8. 20.
l Deut. 31. 16. Act. 13. 36.
m 1 Bren. 5. 5. a 6. 12. 1 Chron. 22. 10. a 28. 6.
n Heb. 1. 5.
o Psal. 89. 26, 27, 30, 31, 32.
p Psal. 89. 36, 37. Ioan 12. 34.
‡ Heb. *cyfraith.*
q Deut. 3. 24. a 4. 35. a 32. 39. 1 Sam. 2. 2. Psal. 86. 8. a 89. 6, 8. Esay 45. 5, 18, 22.
r Deut. 4. 7, 32. a 33. 29. Psal. 147. 20.
§ Heb. *agoraist glust dy was.*
s Ioan 17. 17.
|| Neu, *a bendigo.*

## PEN. VIII.

1 *Dafydd yn darostwng y Philistiaid a'r Moabiaid.* 3 *Yn taro Hadadezer a'r Syriaid.* 10 *Toi yn anfon Joram ag anrhegion i'w fendithio ef.* 11 *Dafydd yn cyssegru'r anrhegion a'r yspail i Dduw:* 14 *yn gosod pennaethiaid yn Edom.* 16 *Swyddogion Dafydd.*

AC a wedi hyn tarawodd Dafydd y Philistiaid, ac a'u darostyngodd hwynt: a Dafydd a ddug ymaith † Metheg-ammah o law 'r Philistiaid.

2 Ac b efe a darawodd Moab, ac a'u mesurodd hwynt â llinyn, gan eu cwympo hwynt i lawr: ac efe a fesurodd â dau linyn, i ladd; ac â llinyn llawn, i gadw yn fyw. Ac *felly* y Moabiaid c fuant i Ddafydd yn weision, yn dwyn treth.

3 ¶ Tarawodd Dafydd hefyd ‡ Hadadezer fab Rehob, brenhin d Sobah, pan oedd efe yn myned i ynnill e ei derfynau wrth afon Euphrates.

4 A Dafydd a ynnillodd § oddi arno ef fil o || *gerbydau,* a saith gant o farchogion, ac ugain mil o wŷr traed: a f thorrodd Dafydd linynnau garr *meirch* pob cerbyd, ac efe a adawodd o honynt gan cerbyd.

5 A phan ddaeth y Syriaid o Ddamascus, i gynnorthwyo Hadadezer brenhin Sobah, Dafydd a laddodd o'r Syriaid ddwy fil ar hugain o wŷr.

6 A Dafydd a osododd swyddogion yn Syria Damascus; a'r Syriaid g a fuant weision i Ddafydd, yn dwyn treth. h A'r Arglwydd a gadwodd Ddafydd ym mha le bynnag yr aeth efe.

7 Dafydd hefyd a gymmerth i y tariannau aur oedd gan weision Hadadezer, ac a'u dug hwynt i Jerusalem.

8 O Betah hefyd, ac o † Berothai, dinasoedd Hadadezer, y dug y brenhin Dafydd lawer iawn o bres.

9 ¶ Pan glybu ‡ Toi brenhin Hamath, daro o Ddafydd holl lu Hadadezer;

10 Yna Toi a anfonodd k Joram ei fab at y brenhin Dafydd, i § gyfarch gwell iddo, ac i'w fendithio, am iddo ymladd yn erbyn Hadadezer, a'i faeddu ef (canys gwr rhyfelgar oedd Hadadezer *yn erbyn* Toi) a llestri arian, a llestri aur, a llestri pres, || ganddo.

11 Y rhai hefyd l a gyssegrodd y brenhin Dafydd i'r Arglwydd, gyd â'r arian a'r aur a gyssegrasai efe, o'r holl genhedloedd a oresgynasai efe;

12 Oddi ar Syria, ac oddi ar Moab, ac oddi ar feibion Ammon, ac oddi ar y Philistiaid, ac oddi ar Amalec, ac o anrhaith Hadadezer mab Rehob, brenhin Sobah.

13 A Dafydd a ynnillodd *iddo* enw, pan ddychwelodd efe o ladd y Syriaid, yn m nyffryn yr halen, n *sef* tair mil ar bymtheg.

14 ¶ Ac efe a osododd bennaethiaid ar Edom; ar holl Edom y gosododd efe ben-

Ebrill 18. B.
Cylch 1040.
a 1 Chron. 18. 1, &c.
† Neu, *ffrwyn Ammah.*
b Num. 24. 17.
c Adn. 6, 14.
‡ Neu, *Hadarezer,* 1 Chron. 18. 3.
d Psal. 60. tit.
e Edrych Gen. 15. 18.
§ Neu, *o'r eiddo.*
|| Fel 1 Chr. 18. 4.
f Jos. 11. 6.
g Adn. 2.
h Adn. 14.
i Edrych 1 Bren. 10. 16.
† Neu, *Chun,* 1 Chron. 18. 8.
‡ Neu, *Tou,* 1 Chron. 18. 9.
k 1 Chron. 18. 10. *Hadoram.*
§ Heb. *ymofyn ag ef am heddwch.*
|| Heb. *yn ei law.*
l 1 Chron. 18. 11. a 26. 26.
m 2 Bren. 14. 7.
n Edrych 1 Chron. 18. 12. Psal. 60. tit.

[o] Num. 24. 18. Edrych Gen. 27. 40. naethiaid, a bu [o] holl Edom yn weision i Ddafydd. [p] A'r ARGLWYDD a gadwodd Ddafydd, i ba le bynnag yr aeth efe.

[p] Adn. 6. 15 A theyrnasodd Dafydd ar holl Israel; [q] 1 Chron. 18. 15. ac yr oedd Dafydd yn gwneuthur barn a chyfiawnder i'w holl bobl.

[r] Pen. 5. 8. 16 [q] A Joab mab Serfiah *oedd ben* [r] ar y llu; a [s] Jehosaphat mab Ahilud yn gofiadur;

[s] 1 Bren. 4. 3. 17 A [t] Sadoc mab Ahitub, ac Ahimelech mab Abiathar, *oedd* offeiriaid; a Seraiah yn ysgrifennydd; [t] 1 Chron. 24. 3.

[u] 1 Chron. 18. 17. 18 [u] Benaiah hefyd mab Jehoiada *oedd ar y* [x] Cerethiaid a'r Pelethiaid; a meibion Dafydd oedd dywysogion. [x] 1 Sam. 30. 14.

## PEN. IX.

Ebrill 18. P.

1 *Dafydd, trwy law Siba, yn danfon am Mephiboseth;* 7 *ac, er mwyn Jonathan, yn ei dderbyn ef i'w fwrdd, ac yn edfryd iddo gwbl ag oedd eiddo Saul;* 9 *ac yn gwneuthur Siba yn oruchwyliwr iddo ef.*

Cylch 1040.

A Dafydd a ddywedodd, A oes etto un wedi ei adael o dŷ Saul, fel y gwnelwyf drugaredd ag ef, er mwyn Jonathan?

[a] Pen. 16. 1. a 19. 17, 29. 2 Ac *yr oedd* gwas o dŷ Saul a'i enw [a] Siba. A hwy a'i galwasant ef at Ddafydd. A'r brenhin a ddywedodd wrtho ef, Ai tydi *yw* Siba? A dywedodd yntau, Dy was *yw efe*.

[b] 1 Sam. 20. 14. 3 A dywedodd y brenhin, *A oes* neb etto o dŷ Saul, fel y gwnelwyf [b] drugaredd Duw ag ef? A dywedodd Siba wrth y brenhin, *Y mae* etto fab i Jonathan, [c] yn gloff o'i draed. [c] Pen. 4. 4.

4 A dywedodd y brenhin wrtho, Pa le *y mae* efe? A Siba a ddywedodd wrth y brenhin, Wele ef yn nhŷ [d] Machir, fab Ammïel, yn Lo-debar. [d] Pen. 17. 27.

5 ¶ Yna y brenhin Dafydd a anfonodd, ac a'i cyrchodd ef o dŷ Machir, fab Ammïel, o Lo-debar.

6 A phan ddaeth Mephiboseth mab Jonathan, fab Saul, at Ddafydd, efe a syrthiodd ar ei wyneb, ac a ymgrymmodd. A Dafydd a ddywedodd, Mephiboseth. Dywedodd yntau, Wele dy was.

7 ¶ A Dafydd a ddywedodd wrtho ef, Nac ofna: canys gan wneuthur y gwnaf drugaredd â thi, er mwyn Jonathan dy dad, a mi a roddaf yn ei ol i ti holl dir Saul dy dad; a thi a fwyttâi fara ar fy mwrdd i yn wastadol.

8 Ac efe a ymgrymmodd, ac a ddywedodd, Beth *ydyw* dy was di, pan edrychit ar [e] gi marw o'm bath i? [e] 1 Sam. 24. 14.

9 ¶ Yna y brenhin a alwodd ar Siba gwas Saul, ac a ddywedodd wrtho, [f] Yr hyn oll oedd eiddo Saul, ac eiddo ei holl dŷ ef, a roddais i fab dy feistr di. [f] Edrych Pen. 19. 29.

10 A thi a erddi'r tir iddo ef, ti, a'th feibion, a'th weision, ac a'u dygi i mewn, fel y byddo bara i fab dy feistr di, ac y bwyttao efe: a Mephiboseth, mab dy feistr di, a fwytty yn wastadol fara ar fy mwrdd i. Ac i Siba 'r *oedd* pymtheg o feibion, ac ugain o weision.

11 Yna y dywedodd Siba wrth y brenhin, Yn ol yr hyn oll a orchymynodd fy arglwydd y brenhin i'w was, felly y gwna dy was. Yna *y dywedodd Dafydd*, Mephiboseth a fwytty ar fy mwrdd i, fel un o feibion y brenhin.

12 Ac i Mephiboseth *yr oedd* mab bychan, a'i enw *oedd* [g] Micha. A phawb a'r *a oedd* yn cyfanneddu tŷ Siba *oedd* weision i Mephiboseth. [g] 1 Chron. 8. 34.

13 A Mephiboseth a drigodd yn Jerusalem: canys ar fwrdd y brenhin yr oedd efe yn bwytta yn wastadol: ac yr oedd efe [h] yn gloff o'i ddeudroed. [h] Adn. 3.

## PEN. X.

1 *Y dirmyg a wnaed â'r cenhadon a anfonasai Dafydd i gysuro Hanun fab Nahas.* 6 *Joab ac Abisai yn gorchfygu 'r Ammoniaid, er bod y Syriaid yn eu cynnorthwyo.* 15 *Sobach yn ail-gasglu 'r Syriaid, a Dafydd yn ei ladd ef yn Helam.* Ebrill 19. B.

AC ar ol hyn y bu i [a] frenhin meibion Ammon farw, a Hanun ei fab a deyrnasodd yn ei le ef. Cylch 1037. [a] 1 Chron. 19. 1.

2 Yna y dywedodd Dafydd, Mi a wnaf garedigrwydd â Hanun mab Nahas, megis y gwnaeth ei dad ef garedigrwydd â mi. A Dafydd a anfonodd gyd â'i weision i'w gysuro ef am ei dad. A gweision Dafydd a ddaethant i wlad meibion Ammon.

3 A thywysogion meibion Ammon a ddywedasant wrth Hanun eu harglwydd, † Wyt ti yn tybied mai anrhydeddu dy dad di y mae Dafydd, o herwydd iddo ddanfon cysurwŷr attat ti? onid er mwyn chwilio 'r ddinas, a'i throedio, a'i difetha, yr anfonodd Dafydd ei weision attat ti? † Heb. *Yn dy olwg di ai anrhydeddu.*

4 Yna Hanun a gymmerth weision Dafydd, ac a eilliodd hanner eu barfau hwynt, ac a dorrodd eu dillad hwynt yn *eu* hanner, [b] hyd eu cluniau, ac a'u gollyngodd hwynt ymaith. [b] Esay 20. 4. a 47. 2.

5 Pan fynegwyd *hyn* i Ddafydd, efe a anfonodd i'w cyfarfod hwynt; canys y gwŷr oedd wedi cywilyddio yn fawr. A dywedodd y brenhin, Arhoswch yn Jericho hyd oni thyfo eich barfau chwi; ac *yna* dychwelwch.

6 ¶ A meibion Ammon a welsant eu bod yn ffiaidd gan Ddafydd; a meibion Ammon a anfonasant ac a gyflogasant y Syriaid o Beth-rehob, a'r Syriaid *o* Soba, ugain mil o wŷr traed, a chan frenhin Maachah fil o wŷr, ac o Istob ddeuddeng mil o wŷr.

7 A phan glybu Dafydd, efe a anfonodd Joab, a holl lu y cedyrn.

8 A meibion Ammon a ddaethant, ac a luniaethasant ryfel *wrth* ddrws y porth: a'r Syriaid *o* Soba, a Rehob, ac *o* Istob, a Maachah, *oedd* o'r neilldu yn y maes.

9 Pan ganfu Joab fod wyneb y rhyfel yn ei erbyn ef ym mlaen ac yn ol, efe a etholodd o holl etholedigion Israel, ac a ymfyddinodd yn erbyn y Syriaid.

10 A gweddill y bobl a roddes efe dan law Abisai ei frawd, i'w byddino yn erbyn meibion Ammon.

11 Ac efe a ddywedodd, Os trech fydd y Syriaid nâ mi, yna bydd di i mi yn gynhorthwy: ond os meibion Ammon fyddant trech nâ thi, yna y deuaf i'th gynhorthwyo dithau.

12 Bydd bybyr, ac ymwrolwn dros ein pobl, a thros ddinasoedd ein Duw: a gwnaed yr ARGLWYDD yr hyn fyddo da yn ei olwg ef.

13 A nesaodd Joab, a'r bobl *oedd* gyd ag ef, yn erbyn y Syriaid i'r rhyfel: a hwy a ffoisant o'i flaen ef.

14 A phan welodd meibion Ammon ffoi o'r Syriaid, hwythau a ffoisant o flaen Abisai, ac a aethant i'r ddinas. A dychwelodd Joab oddi wrth feibion Ammon, ac a ddaeth i Jerusalem.

15 ¶ A phan welodd y Syriaid eu lladd o flaen Israel, hwy a ymgynnullasant ynghŷd. Cylch 1036.

16 A Hadarezer a anfonodd, ac a ddug y Syriaid *oedd* o'r tu hwnt i'r afon: a hwy a ddaethant i Helam, a ‡ Sobach tywysog llu Hadarezer o'u blaen. ‡ Neu, *Sophach.* 1 Chron. 19. 16.

17 A phan fynegwyd i Ddafydd *hynny*, efe a gasglodd holl Israel, ac a aeth dros yr Iorddonen, ac a ddaeth i Helam: a'r Syriaid a ymfyddinasant yn erbyn Dafydd, ac a ymladdasant ag ef.

18 A'r Syriaid a ffoisant o flaen Israel; a Dafydd a laddodd o'r Syriaid, *wŷr* saith gant o gerbydau, a deugain mil [c] o wŷr meirch: ac efe a darawodd Sobach tywysog eu llu hwynt, fel y bu efe farw yno.

[c] 1 Chron. 19. 18, *o wŷr traed.*

19 A phan welodd yr holl frenhinoedd *oedd* weision i Hadarezer, eu lladd hwynt o flaen Israel, hwy a heddychasant ag Israel, ac a'u gwasanaethasant hwynt. A'r Syriaid a ofnasant gynhorthwyo meibion Ammon mwyach.

## PEN. XI.

Ebrill 19. P.

1 *Dafydd, tra'r ydoedd Joab yn gwarchae ar Rabbah, yn godinebu gyd â Bathseba: 6 yn anfon am Urïas adref, i geisio coluro ei odineb: 14 yn anfon llythyr gyd ag ef at Joab, i beri iddo farw. 18 Joab yn danfon newyddion o'i farwolaeth ef i Ddafydd. 26 Dafydd yn cymmeryd Bathseba yn wraig iddo.*

Cylch 1035.

AC † wedi pen y flwyddyn, yn yr amser y byddai'r brenhinoedd yn myned allan i *ryfel*, [a] danfonodd Dafydd Joab a'i weision gyd ag ef, a holl Israel; a hwy a ddistrywiasant feibion Ammon, ac a warchaeasant ar Rabbah: ond Dafydd oedd yn aros yn Jerusalem.

† Heb. *yn nychweliad*, 1 Bren. 20. 22, 26. 2 Chron. 36. 10.

[a] 1 Chron. 20. 1.

2 ¶ A bu ar brydnawn-gwaith gyfodi o Ddafydd oddi ar ei wely, a rhodio ar nen tŷ y brenhin: ac oddi ar y nen efe a ganfu wraig yn ymolchi; a'r wraig *oedd* dêg iawn yr olwg.

3 A Dafydd a anfonodd ac a ymofynodd am y wraig: ac *un* a ddywedodd, Onid hon *yw* ‡ Bathseba merch Elïam, gwraig Urïas yr Hethiad?

‡ Neu, *Bathsua*, 1 Chron. 3. 5.

4 A Dafydd a anfonodd genhadau, ac a'i cymmerth hi; a hi a ddaeth i mewn atto ef, ac [b] efe a orweddodd gyd â hi (ac yr oedd hi [c] wedi ei glanhâu oddi wrth ei haflendid) a hi a ddychwelodd i'w thŷ ei hun.

[b] Psal. 51. tit.

[c] Lef. 15. 19. a 18. 19.

5 A'r wraig a feichiogodd, ac a anfonodd ac a fynegodd i Ddafydd, ac a ddywedodd, *Yr ydwyf* fi yn feichiog.

6 ¶ A Dafydd a anfonodd at Joab, *gan ddywedyd*, Danfon attaf fi Urïas yr Hethiad. A Joab a anfonodd Urïas at Ddafydd.

7 A phan ddaeth Urïas atto ef, Dafydd a ymofynodd am § lwyddiant Joab, ac am lwyddiant y bobl, ac am ffyniant y rhyfel.

§ Heb. *heddwch.*

8 Dywedodd Dafydd hefyd wrth Urïas, Dos i wared i'th dŷ, a golch dy draed. Ac Urïas a aeth allan o dŷ'r brenhin, a saig y brenhin a aeth ar ei ol ef.

9 Ond Urïas a gysgodd wrth ddrws tŷ'r brenhin gyd â holl weision ei arglwydd, ac nid aeth i wared i'w dŷ ei hun.

10 Yna y mynegasant i Ddafydd, gan ddywedyd, Nid aeth Urïas i wared i'w dŷ ei hun. A Dafydd a ddywedodd wrth Urïas, Onid o'*th* daith yr ydwyt ti yn dyfod? pa ham nad ait ti i wared i'th dŷ dy hun?

11 A dywedodd Urïas wrth Ddafydd, Yr arch, ac Israel hefyd, a Judah, sydd yn aros mewn pebyll; a [d] Joab fy arglwydd, a gweision fy arglwydd, sydd yn gwersyllu ar hŷd wyneb y maes: a af fi gan hynny i'm tŷ fy hun, i fwytta, ac i yfed, ac i orwedd gyd â'm gwraig? *fel mai* byw di, ac *fel mai* byw dy enaid di, ni wnaf y peth hyn.

[d] Pen. 20. 6.

12 A Dafydd a ddywedodd wrth Urïas, Aros yma etto heddyw, ac y foru y'th ollyngaf di. Ac Urïas a arhosodd yn Jerusalem y dwthwn hwnnw a thrannoeth.

13 A Dafydd a'i galwodd ef, i fwytta ac i yfed ger ei fron ef, ac a'i meddwodd ef: ac yn yr hwyr efe a aeth i orwedd ar ei wely gyd â gweision ei arglwydd, ac nid aeth i wared i'w dŷ ei hun.

14 ¶ A'r bore yr ysgrifenodd Dafydd lythyr at Joab, ac a'*i* hanfonodd yn llaw Urïas.

15 Ac efe a 'sgrifenodd yn ei lythyr, gan ddywedyd, Gosodwch Urïas ar gyfer wyneb y rhyfelwŷr glewaf; a dychwelwch oddi ar ei ol ef, fel y tarawer ef, ac y byddo marw.

16 A phan oedd Joab yn gwarchae ar y ddinas, efe a osododd Urïas yn y lle y gwyddai efe *fod* gwŷr nerthol ynddo.

17 A gwŷr y ddinas a aethant allan, ac a ymladdasant â Joab: a syrthiodd *rhai* o'r bobl o weision Dafydd; ac Urïas yr Hethiad a fu farw hefyd.

18 ¶ Yna Joab a anfonodd, ac a fynegodd i Ddafydd holl hanes y rhyfel:

19 Ac a orchymynodd i'r gennad, gan ddywedyd, Pan orphenech lefaru holl hanes y rhyfel wrth y brenhin;

20 Os cyfyd llidiowgrwydd y brenhin, ac os dywed wrthyt, Pa ham y nesasoch at y ddinas i ymladd? oni wyddech y taflent hwy oddi ar y gaer?

21 Pwy a darawodd [e] Abimelech fab Jerubbeseth? onid gwraig a daflodd arno ef ddarn o faen melin oddi ar y mur, fel y bu efe farw yn Thebes? pa ham y nesasoch at y mur? yna y dywedi, Dy was Urïas yr Hethiad a fu farw hefyd.

[e] Barn. 9. 53.

22 ¶ Felly y gennad a aeth, ac a ddaeth ac a fynegodd i Ddafydd yr hyn oll yr anfonasai Joab ef o'i blegid.

23 A'r gennad a ddywedodd wrth Ddafydd, Yn ddiau y gwŷr oeddynt drech nâ ni, ac a ddaethant attom ni i'r maes, a ninnau a aethom arnynt hwy hyd ddrws y porth.

24 A'r saethyddion a saethasant at dy weision oddi ar y mur; a *rhai* o weision y brenhin a fuant feirw; a'th was Urïas yr Hethiad a fu farw hefyd.

25 Yna Dafydd a ddywedodd wrth y gennad, Fel hyn y dywedi di wrth Joab; Na fydded hyn ddrwg yn dy olwg di: canys ‖ y naill fel y llall a ddifetha'r cleddyf: cadarnhâ dy ryfel yn erbyn y ddinas, a distrywiwch hi; a chysura dithau ef.

‖ Heb. *fel hyn ac fel hyn.*

26 ¶ A phan glybu gwraig Urïas farw Urïas ei gwr, hi a alarodd am ei phrïod.

27 A phan aeth y galar heibio, Dafydd a anfonodd, ac a'i cyrchodd hi i'w dŷ, i fod iddo yn wraig; a hi a ymddûg iddo fab. A drwg yngolwg yr ARGLWYDD oedd y peth a wnaethai Dafydd.

## PEN. XII.

1 *Dammeg Nathan am yr oenig, yn peri i Ddafydd fod yn farnwr arno ei hun. 7 Dafydd, wedi i Nathan ei geryddu, yn cyfaddef ei bechod, ac yn cael maddeuant: 15 yn galaru ac yn gweddio dros y plentyn, tra oedd fyw. 24 Geni Salomon, a'i enwi Jedidiah. 26 Dafydd yn ynnill Rabbah, ac yn arteithio'i phobl hi.*

Sul 6 ar ol y Drindod, B. Ebrill 20. B.

1034.

A'R ARGLWYDD a anfonodd Nathan at Ddafydd. Ac [a] efe a ddaeth atto ef, ac [b] a ddywedodd wrtho, Dau wr oedd yn yr un ddinas; y naill yn gyfoethog, a'r llall yn dlawd.

[a] Psal. 51. tit.

[b] Edrych Pen. 14. 5, &c. 1 Bren. 20. 20, 35, 41.

2 Gan y cyfoethog yr oedd llawer iawn o
ddefaid a gwartheg:
3 A chan y tlawd nid *oedd* dim ond un
oenig fechan, yr hon a brynasai efe, ac a
fagasai; a hi a gynnyddasai gyd ag ef, a
chyd â'i blant: o'i dammaid ef y bwyttâi
hi, ac o'i gwppan ef yr yfai hi, ac yn ei
fynwes ef y gorweddai hi, ac yr oedd hi
iddo megis merch.
4 Ac ymdeithydd a ddaeth at y gwr
cyfoethog; ond efe a arbedodd gymmeryd
o'i ddefaid ei hun, ac o'i wartheg ei hun, i
arlwyo i'r ymdeithydd a ddaethai atto; ond
efe a gymmerth oenig y gwr tlawd, ac a'i
parottôdd i'r gwr a ddaethai atto.
5 A digofaint Dafydd a ennynodd yn
ddirfawr wrth y gwr; ac efe a ddywedodd
wrth Nathan, *Fel mai* byw yr ARGLWYDD,
euog o farwolaeth *yw*'r gwr a wnaeth hyn.
[c] Exod. 22. 6 A'r oenig a dâl efe adref [c] yn bedwar
1. dyblyg; o herwydd iddo wneuthur y peth
hyn, ac nad arbedodd.
7 ¶ A dywedodd Nathan wrth Ddafydd,
Ti *yw*'r gwr. Fel hyn y dywed AR-
[d] 1 Sam. 16. GLWYDD DDUW Israel; Myfi [d] a'th en-
13. neiniais di yn frenhin ar Israel, myfi hefyd
a'th waredais di o law Saul:
8 Rhoddais *hefyd* i ti dŷ dy arglwydd, a
gwragedd dy arglwydd yn dy fynwes, a mi
a roddais i ti dŷ Israel a Judah; a phe rhŷ
fychan *fuasai hynny*, myfi a roddaswn i ti
fwy o lawer.
9 Pa ham y dirmygaist air yr AR-
GLWYDD, i wneuthur drwg yn ei olwg ef?
Urïas yr Hethiad a darewaist ti â'r cleddyf,
a'i wraig ef a gymmeraist i ti yn wraig,
a thi a'i lleddaist ef â chleddyf meibion
Ammon.
10 Yn awr gan hynny nid ymedy'r
cleddyf â'th dŷ di byth; o herwydd i ti fy
nirmygu i, a chymmeryd gwraig Urïas yr
Hethiad i fod yn wraig i ti.
11 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD;
Wele, myfi a gyfodaf i'th erbyn ddrwg o'th
[e] Deut. 28. dŷ dy hun, a mi [e] a ddygaf dy wragedd di
30. yngŵydd dy lygaid, ac a'u rhoddaf *hwynt*
Pen. 16. 22. i'th gymmydog, ac efe a orwedd gyd â'th
wragedd di yngolwg yr haul hwn.
12 Er i ti wneuthur mewn dirgelwch;
etto myfi a wnaf y peth hyn ger bron holl
Israel, a cher bron yr haul.
[f] Edrych 13 [f] A dywedodd Dafydd wrth Nathan,
1 Sam. 15. [g] Pechais yn erbyn yr ARGLWYDD. A
24. Nathan a ddywedodd wrth Ddafydd, [h] Yr
[g] Psal. 32. ARGLWYDD hefyd a dynnodd ymaith dy
5. a 51. 4. bechod di: ni byddi di marw.
[h] Eccl. 47. 14 Etto, o herwydd i ti beri i elynion
11. yr ARGLWYDD [i] gablu trwy'r peth hyn,
[i] Esay 52. y plentyn a anwyd i ti a fydd marw yn
5. ddiau.
Ezec. 36.
20, 23.
Rhuf. 2. 24. 15 ¶ A Nathan a aeth i'w dŷ. A'r AR-
GLWYDD a darawodd y plentyn a blantasai
gwraig Urïas i Ddafydd; ac efe a aeth yn
glaf iawn.
16 Dafydd am hynny a ymbiliodd â Duw
dros y bachgen; a Dafydd a ymprydiodd
[k] Pen. 13. ympryd, ac a aeth ac [k] a orweddodd ar y
31. ddaear ar hŷd y nos.
17 A henuriaid ei dŷ ef a gyfodasant atto
ef, i beri iddo godi oddi ar y ddaear: ond
ni fynnai efe, ac ni fwyttâi fara gyd â
hwynt.
18 Ac ar y seithfed dydd y bu farw'r
plentyn. A gweision Dafydd a ofnasant fy-
negi iddo ef farw'r bachgen: canys dywed-
asant, Wele, tra oedd y bachgen yn fyw,
y llefarasom wrtho, ond ni wrandawai ar ein
llais; pa fodd gan hynny † yr ymofidia, os † Heb.
dywedwn wrtho farw'r plentyn? *y gwna niwed.*
19 Ond pan welodd Dafydd ei weision yn
sibrwd, deallodd Dafydd farw'r plentyn: a
Dafydd a ddywedodd wrth ei weision, A fu
farw'r plentyn? A hwy a ddywedasant, Efe
a fu farw.
20 Yna Dafydd a gyfododd oddi ar y
ddaear, ac a ymolchodd, ac a ymenneiniodd,
ac a newidiodd ei ddillad, ac a ddaeth
i dŷ'r ARGLWYDD, ac a addolodd: wedi
hynny y daeth efe i'w dŷ ei hun; ac a
ofynodd, a hwy a roddasant iddo fara, ac
efe a fwyttaodd.
21 Yna ei weision a ddywedasant wrtho
ef, Pa beth *yw* hyn a wnaethost ti? dros y
plentyn byw'r ymprydiaist, ac yr wylaist;
ond pan fu'r plentyn farw, ti a gyfodaist ac
a fwytteaist fara.
22 Ac efe a ddywedodd, Tra'r ydoedd
y plentyn yn fyw, yr ymprydiais ac yr
wylais: [l] canys mi a ddywedais, Pwy a [l] Edrych
ŵyr a drugarhâ'r ARGLWYDD wrthyf, fel y Esay 38. 1.
byddo byw'r plentyn? Jonah 3. 9.
23 Ond yn awr efe fu farw, i ba beth yr
ymprydiwn? a allaf fi ei ddwyn ef yn ei
ol mwyach? myfi a af atto ef, ond [m] ni [m] Job 7.
ddychwel efe attaf fi. 8, 9, 10.
24 ¶ A Dafydd a gysurodd Bathseba ei 1033.
wraig, ac a aeth i mewn atti hi, ac a or-
weddodd gyd â hi: a [n] hi a ymddûg fab, [n] Mat. 1.
ac [o] efe a alwodd ei enw ef Salomon. A'r 6.
ARGLWYDD a'i carodd ef. [o] 1 Chron.
25 Ac efe a anfonodd trwy law Nathan 22. 9.
y prophwyd; ac efe a alwodd ei enw ef
‡ Jedidïah, oblegid yr ARGLWYDD. ‡ *Anwyl*
26 ¶ A [p] Joab a ymladdodd yn erbyn *gan yr Arglwydd.*
[q] Rabbah meibion Ammon, ac a ynnillodd [p] 1 Chron.
y frenhinol ddinas. 20. 1.
27 A Joab a anfonodd genhadau at Dda- [q] Deut. 3.
fydd, ac a ddywedodd, Rhyfelais yn erbyn 11.
Rabbah, ac a ynnillais ddinas y dyfroedd.
28 Yn awr gan hynny casgl weddill y
bobl, a gwersylla yn erbyn y ddinas, ac yn-
nill hi; rhag i mi ynnill y ddinas, a galw
fy enw i arni hi.
29 A Dafydd a gasglodd yr holl bobl, ac
a aeth i Rabbah, ac a ymladdodd yn ei
herbyn, ac a'i hynnillodd hi.
30 Ac [r] efe a gymmerodd goron eu bren- [r] 1 Chron.
hin hwynt oddi am ei ben (a'i phwys hi 20. 2.
*oedd* dalent o aur, gyd â'r maen gwerthfawr)
a hi a osodwyd ar ben Dafydd. Ac
efe a ddug ymaith o'r ddinas anrhaith fawr
iawn.
31 Ac efe a ddug ymaith y bobl *oedd*
ynddi, ac a'*u* gosododd dan lifiau, a than
ogau heiyrn, a than fwyill heiyrn, ac a'u
bwriodd hwynt i'r odynau calch: ac felly
y gwnaeth i holl ddinasoedd meibion Ammon.
A dychwelodd Dafydd a'r holl bobl
i Jerusalem.

## PEN. XIII.

1 *Amnon yn caru Tamar; a thrwy gyngor* Ebrill 20.
*Jonadab, yn cymmeryd arno fod yn glaf, ac* P.
*yn ei threisio hi;* 15 *ac yna yn ei chasâu*
*hi, ac yn ei throi ymaith yn gywilyddus.*
19 *Absalom yn ei derbyn hi, ac yn celu ei*
*amcan;* 23 *ac, wrth gneifio'i ddefaid, yn*
*lladd Amnon.* 30 *Dafydd yn prudd hâu*
*wrth glywed hynny; a Jonadab yn ei gysuro*
*ef.* 37 *Absalom yn ffoi at Talmai i Gesur.*

AC ar ol hyn yr oedd gan Absalom fab Cylch
Dafydd chwaer dêg, a'i henw Tamar: 1032.
ac Amnon mab Dafydd a'i carodd hi.

2 Ac yr oedd mor flin ar Amnon, fel y
clefychodd efe o herwydd Tamar ei chwaer:
† Heb. *rhyfeddol,* neu, *guddiedig yngolwg Amnon oedd wneuthur.* canys gwyryf *oedd* hi; ac † anhawdd y
gwelai Amnon wneuthur dim iddi hi.
3 Ond gan Amnon yr oedd cyfaill, a'i enw
Jonadab, mab [a] Simeah, frawd Dafydd: a
Jonadab *oedd* wr call iawn.
4 Ac efe a ddywedodd wrtho ef, Ti fab
[a] Edrych 1 Sam. 16. 9. y brenhin, pa ham *yr ydwyt* yn ‡ curio fel
hyn § beunydd? oni fynegi di i mi? Ac
Amnon a ddywedodd wrtho ef, Caru yr
‡ Heb. *denau.* ydwyf fi Tamar, chwaer Absalom fy mrawd.
§ Heb. *o fore i fore.* 5 A Jonadab a ddywedodd wrtho ef,
Gorwedd ar dy wely, a chymmer arnat
fod yn glaf: a phan ddelo dy dad i'th
edrych, dywed wrtho ef, Deued, attolwg,
Tamar fy chwaer i roddi bwyd i mi, ac i
arlwyo'r bwyd yn fy ngolwg, fel y gwelwyf,
ac y bwyttawyf o'i llaw hi.
6 ¶ Felly Amnon a orweddodd, ac a gym-
merth arno fod yn glaf. A'r brenhin a
ddaeth i'w edrych ef; ac Amnon a ddywed-
odd wrth y brenhin, Deued, attolwg, Ta-
mar fy chwaer i grasu dwy deisen yn fy
ngolwg i, fel y bwyttawyf o'i llaw hi.
7 Yna Dafydd a anfonodd adref at
Tamar, gan ddywedyd, Dos yn awr i
dŷ Amnon dy frawd, a pharottoa fwyd
iddo.
8 Felly Tamar a aeth i dŷ Amnon ei
brawd (ac efe oedd yn gorwedd) a hi
‖ Neu, *does.* a gymmerth ‖ beilliaid, ac a'i tylinodd, ac
a wnaeth deisenau yn ei wydd ef, ac a
grasodd y teisenau.
9 A hi a gymmerth badell, ac a'*u* tywallt-
odd *hwynt* ger ei fron ef: ond efe a
wrthododd fwytta. Ac Amnon a ddywed-
odd, Gyrrwch allan bawb oddi wrthyf fi.
A phawb a aethant allan oddi wrtho ef.
10 Yna Amnon a ddywedodd wrth Ta-
mar, Dwg y bwyd i'r ystafell, fel y bwyt-
tawyf o'th law di. A Thamar a gymmerth
y teisenau a wnaethai hi, ac a'*u* dug at
Amnon ei brawd i'r ystafell.
11 A phan ddug hi *hwynt* atto ef i fwytta,
efe a ymaflodd ynddi hi, ac a ddywedodd
wrthi hi, Tyred, gorwedd gyd â mi, fy
chwaer.
12 A hi a ddywedodd wrtho, Paid, fy
† Heb. *ddarostwng.* mrawd; na † threisia fi: canys [b] ni wnair
fel hyn yn Israel: na wna di'r ynfydrwydd
hyn.
[b] Lef. 18. 9. 13 A minnau, i ba le y bwriaf ymaith
fy ngwarth? a thi a fyddi fel un o'r yn-
fydion yn Israel. Yn awr, gan hynny, ym-
ddiddan, attolwg, â'r brenhin: canys ni
ommedd efe fi i ti.
14 Ond ni fynnai efe wrando ar ei llais
hi; eithr efe a fu drech nâ hi, ac a'i treisi-
odd, ac a orweddodd gyd â hi.
15 ¶ Yna Amnon a'i casaodd hi â chas
mawr iawn: canys mwy *oedd* y cas â'r
hwn y casasai efe hi, nâ'r cariad â'r hwn y
carasai efe hi. Ac Amnon a ddywedodd
wrthi hi, Cyfod, dos ymaith.
16 A hi a ddywedodd wrtho ef, Nid *oes*
achos: y drygioni hwn, *sef* fy ngyrru ym-
aith, *sydd* fwy nâ'r llall a wnaethost â mi.
Ond ni wrandawai efe arni hi.
17 Eithr efe a alwodd ar ei langc, ei
weinidog, ac a ddywedodd, Gyrrwch hon
yn awr allan oddi wrthyf fi; a chloa'r drws
ar ei hol hi.
18 Ac am dani *hi yr oedd* mantell sym-
mudliw: canys â'r cyfryw fentyll y dilledid
merched y brenhin, *y rhai oedd* forwynion.
Yna ei weinidog ef a'i dug hi allan, ac a
glodd y drws ar ei hol hi.
19 ¶ A Thamar [c] a gymmerodd lludw ar [c] Jos. 7. 6.
ei phen, ac a rwygodd y fantell symmudliw
*oedd* am dani, ac [d] a osododd ei llaw ar ei [d] Jer. 2.
phen, ac a aeth ymaith dan weiddi. 37.
20 Ac Absalom ei brawd a ddywedodd
wrthi hi, Ai Amnon dy frawd a fu gyd â
thi? er hynny yn awr taw â son, fy chwaer:
dy frawd di *yw* efe; na osod dy galon ar y
peth hyn. Felly Tamar a drigodd yn ym-
ddifad yn nhŷ Absalom ei brawd.
21 ¶ Ond pan glybu'r brenhin Dafydd yr
holl bethau hynny, efe a ddigiodd yn aruthr.
22 Ac ni ddywedodd Absalom wrth
Amnon na drwg na da: canys Absalom a
gasaodd Amnon, o herwydd iddo dreisio
Tamar ei chwaer ef.
23 ¶ Ac ar ol dwy flynedd o ddyddiau, 1030.
[e] yr oedd gan Absalom rai yn cneifio yn [e] Edrych Gen. 38. 13.
Baal-hasor, yr hwn *sydd* wrth Ephraim: ac 1 Sam. 25.
Absalom a wahoddodd holl feibion y brenhin. 4, 36.
24 Ac Absalom a ddaeth at y brenhin, ac
a ddywedodd, Wele, yn awr, rai yn cneifio
i'th was di; deued, attolwg, y brenhin a'i
weision gyd â'th was.
25 A dywedodd y brenhin wrth Absalom,
Nag ê, fy mab, ni ddeuwn ni i gyd yn awr;
rhag i ni ormesu arnat ti. Ac efe a fu daer
arno: ond ni fynnai efe fyned; eithr efe a'i
bendithiodd ef.
26 Yna y dywedodd Absalom, Oni ddaw
Amnon fy mrawd yn awr gyd â ni? A'r
brenhin a ddywedodd wrtho ef, I ba beth yr
â efe gyd â thi?
27 Etto Absalom a fu daer arno, fel y
gollyngodd efe Amnon gyd ag ef, a holl
feibion y brenhin.
28 ¶ Ac Absalom a orchymynodd i'w
langciau, gan ddywedyd, Edrychwch, at-
tolwg, pan fyddo llawen calon Amnon gan
win, a *phan* ddywedwyf wrthych, Tarêwch
Amnon; yna lleddwch ef, nac ofnwch:
‡ oni orchymynais i chwi? ymwrolwch, a ‡ Neu, *oni unewch, a mi yn gorchymyn i chwi?*
byddwch *feibion* glewion.
29 A llangciau Absalom a wnaethant i
Amnon fel y gorchymynasai Absalom. A
holl feibion y brenhin a gyfodasant, a phob
un a farchogodd ar ei ful, ac a ffoisant.
30 ¶ A thra *yr oeddynt* hwy ar y ffordd,
y daeth y chwedl at Ddafydd, gan ddy-
wedyd, Absalom a laddodd holl feibion y
brenhin, ac ni adawyd un o honynt.
31 Yna y brenhin a gyfododd, ac [f] a [f] Pen. 1.
rwygodd ei ddillad, ac [g] a orweddodd ar 11.
y ddaear; a'i holl weision oedd yn sefyll [g] Pen. 12.
ger llaw, â'u gwisgoedd yn rhwygedig. 16.
32 A Jonadab mab Simeah, frawd Dafydd,
a attebodd ac a ddywedodd, Na thybied fy
arglwydd iddynt hwy ladd yr holl langciau,
*sef* meibion y brenhin; canys Amnon yn
unig a fu farw: canys yr oedd § ym mryd § Neu,
Absalom *hynny,* er y dydd y treisiodd efe *hyn wedi ei furiadu trwy*
Tamar ei chwaer ef. *archiad*
33 Ac yn awr na osoded fy arglwydd (*neu, trwy*
frenhin y peth at ei galon, gan dybied *enau) Absalom.*
farw holl feibion y brenhin: canys Amnon
yn unig a fu farw.
34 Ond Absalom a ffodd. A'r llangc yr
hwn oedd yn gwylio a ddyrchafodd ei lyg-
aid, ac a edrychodd; ac wele, bobl lawer
yn dyfod ar hyd y ffordd o'i ol ef, ar hyd
ystlys y mynydd.
35 A Jonadab a ddywedodd wrth y bren-
hin, Wele, feibion y brenhin yn dyfod: ‖ Heb. *yn ol gair.*
‖ fel y dywedodd dy was, felly y mae.

36 A phan orphenasai efe ymddiddan,
wele, meibion y brenhin a ddaethant, ac a
ddyrchafasant eu llef, ac a wylasant. A'r
brenhin hefyd a'i holl weision a wylasant ag
wylofain mawr iawn.
37 ¶ Ac Absalom a ffodd, ac a aeth at
a Pen. 3. 3. [h] Talmai fab † Ammihud brenhin Gesur: a
† Neu, *Ammihur.* *Dafydd* a alarodd am ei fab bob dydd.
38 Ond Absalom a ffodd, ac a aeth i Ge-
sur; ac yno y bu efe dair blynedd.
‡ Neu, *ddarfu.* 39 Ac *enaid* Dafydd y brenhin a ‡ hiraeth-
odd am fyned at Absalom: canys efe a
gysurasid am Amnon, gan ei farw efe.

## PEN. XIV.

Ebrill 21. B. 1 *Joab yn gosod gwraig weddw o Tecoah, trwy ddammeg, i droi calon y brenhin i gyrchu ei fab adref; ac yn ei ddwyn ef i Jerusalem. 25 Teguch, gwallt, a phlant Absalom. 28 Joab, ym mhen dwy flynedd, yn dwyn Absalom i wydd y brenhin.*

1027. YNA Joab mab Serfiah a wybu *fod* calon
y brenhin tu ag at Absalom.
2 A Joab a anfonodd i Tecoah, ac a
gyrchodd oddi yno wraig ddoeth, ac a ddy-
wedodd wrthi, Cymmer arnat, attolwg, alaru,
a gwisg yn awr alar-wisg, ac nac ymira ag
olew, eithr bydd fel gwraig yn galaru er ys
llawer o ddyddiau am y marw:
3 A thyred at y brenhin, a llefara wrtho
yn ol yr ymadrodd hyn. A Joab a osododd
yr ymadroddion yn ei genau hi.
4 ¶ A'r wraig o Tecoah, pan ddywedodd
wrth y brenhin, a syrthiodd i lawr ar ei
hwyneb, ac a ymgrymmodd, ac a ddywed-
† Heb. *Gwared.* odd, † Cynnorthwya, O frenhin.
5 A dywedodd y brenhin wrthi hi, Beth
a Edrych Pen. 12. 1. *a ddarfu* i ti? A hi a ddywedodd, [a] Yn wir
gwraig weddw *ydwyf* fi, a'm gwr a fu farw.
6 Ac i'th law-forwyn *yr oedd* dau fab, a
hwynt ill dau a ymrysonasant yn y maes;
‡ Heb. *gwaredwr.* ond nid *oedd* ‡ athrywynwr rhyngddynt
hwy; ond y naill a darawodd y llall, ac a'i
lladdodd ef.
7 Ac wele'r holl dylwyth a gyfododd yn
erbyn dy law-forwyn, a hwy a ddywed-
asant, Dyro yr hwn a darawodd ei frawd,
fel y lladdom ni ef, am einioes ei frawd a
laddodd efe; ac y difethom hefyd yr eti-
fedd: felly y diffoddent fy marworyn, yr
hwn a adawyd, heb adael i'm gwr *nac* enw
nac eppil ar wyneb y ddaear.
8 A'r brenhin a ddywedodd wrth y wraig,
Dos i'th dŷ; a mi a roddaf orchymyn o'th
blegid di.
9 A'r wraig o Tecoah a ddywedodd wrth
y brenhin, *Bydded* y camwedd hwn arnaf fi,
fy arglwydd frenhin, ac ar dŷ fy nhad i, a'r
brenhin a'i orseddfaingc ef yn ddïeuog.
10 A'r brenhin a ddywedodd, Dwg attaf
fi yr hwn a yngano wrthyt, ac ni chaiff
mwyach gyffwrdd â thi.
11 Yna hi a ddywedodd, Cofied, attolwg,
y brenhin dy ARGLWYDD DDUW, rhag
amlhâu dïalwŷr y gwaed i ddistrywio, a
rhag difetha o honynt hwy fy mab i. Ac
b 1 Sam. 14. 45. Act. 27. 34. efe a ddywedodd, [b] *Fel mai* byw 'r AR-
GLWYDD, ni syrth *un* o wallt pen dy fab di
i lawr.
12 Yna y dywedodd y wraig, Attolwg,
gâd i'th law-forwyn ddywedyd gair wrth
fy arglwydd frenhin. Yntau a ddywedodd,
Dywed.
13 A'r wraig a ddywedodd, Pa ham gan
hynny y meddyliaist fel hyn yn erbyn pobl
DDUW? canys y mae'r brenhin yn llefaru'r
gair hwn megis *un* beius, gan na ddug y
brenhin adref ei herwr.
14 Canys gan farw yr ydym ni yn marw,
ac *ydym* fel dyfroedd wedi eu tywallt ar y
ddaear, y rhai ni chesglir: gan na ddug
Duw ei einioes, efe a feddyliodd foddion,
fel na yrrer ymaith *ei* herwr oddi wrtho.
15 Ac yn awr mi a ddeuthum i ymddi-
ddan â'm harglwydd frenhin am y peth
hyn, oblegid i'r bobl fy nychrynu i: am
hynny y dywedodd dy law-forwyn, Ym-
ddiddanaf yn awr â'r brenhin; ond odid fe
a wna'r brenhin ddymuniad ei law-forwyn.
16 Canys y brenhin a wrendy, fel y gwa-
redo efe ei law-forwyn o law 'r gwr *a fynnai*
fy nifetha i a'm mab hefyd o etifeddiaeth
DDUW.
17 A'th law-forwyn a ddywedodd, Bydd-
ed, *attolwg*, gair fy arglwydd frenhin § yn § Heb. *yn orphwysfa.*
gysur: canys [c] fel angel Duw *ydyw* fy ar-
glwydd frenhin, i wrando 'r da a'r drwg: a'r c Adn. 20.
ARGLWYDD dy DDUW fydd gyd â thi.
18 Yna'r attebodd y brenhin, ac y dywed-
odd wrth y wraig, Na chela, attolwg, oddi
wrthyf fi y peth yr ydwyt yn ei ofyn i ti.
A dywedodd y wraig, Llefared yn awr fy
arglwydd frenhin.
19 A'r brenhin a ddywedodd. *A ydyw*
llaw Joab gyd â thi yn hyn oll? A'r wraig
a attebodd ac a ddywedodd, *Fel mai* byw
dy enaid di, fy arglwydd frenhin, nid gwiw
*troi* ar y llaw ddehau nac ar y llaw aswy
oddi wrth yr hyn oll a ddywedodd fy ar-
glwydd frenhin: canys dy was Joab a or-
chymynodd i mi, ac a osododd yr holl eir-
iau hyn yngenau dy law-forwyn:
20 Ar fedr troi'r chwedl y gwnaeth dy
was Joab y peth hyn: ond fy arglwydd d Adn. 17.
*sydd* ddoeth, [d] fel doethineb angel Duw, i Pen. 19. 27.
wybod yr hyn oll *sydd* ar y ddaear.
21 ¶ A'r brenhin a ddywedodd wrth Joab,
Wele yn awr, gwneuthum y peth hyn:
dos, a dwg y llangc Absalom yn ei ol.
22 A Joab a syrthiodd i lawr ar ei wy-
neb, ac a ymgrymmodd, ac a fendithiodd y
brenhin. A Joab a ddywedodd, Heddyw y
gwybu dy was di gael o honof ffafr yn dy
olwg di, fy arglwydd frenhin, am i'r brenhin
gyflawni dymuniad ‖ ei was. ‖ Neu, *dy.*
23 A Joab a gyfododd, ac a aeth i Gesur,
ac a ddug Absalom i Jerusalem.
24 A'r brenhin a ddywedodd, Tröed i'w
dŷ ei hun; ac nac edryched *yn* fy wyneb I.
Felly Absalom a drodd i'w dŷ ei hun, ac ni
welodd wyneb y brenhin.
25 ¶ † Ac nid oedd wr mor glodfawr am † Heb. *Ac fel Absalom nid oedd wr gwr yn yr holl Israel, i'w gammol yn fawr.*
ei degwch ag Absalom o fewn holl Israel:
o wadn ei droed hyd ei goryn nid oedd
wrthuni ynddo ef.
26 A phan gneifiai efe ei ben (canys
un waith yn y flwyddyn y torrai efe ei
wallt: o herwydd *ei* fod yn drwm arno,
am hynny efe a'i torrai ef) efe a bwysai
wallt ei ben yn ddau can sicl, wrth bwys
y brenhin.
27 [e] A thri mab a anwyd i Absalom, ac e Edrych Pen. 18. 18.
un ferch, a'i henw hi *oedd* Tamar: yr oedd
hi yn wraig dêg yr olwg.
28 ¶ Felly Absalom a drigodd ddwy fly-
nedd gyfan yn Jerusalem, ac ni welodd
wyneb y brenhin.
29 Am hynny Absalom a ddanfonodd
am Joab, i'w anfon ef at y brenhin; ond ni
ddeuai efe atto ef: ac efe a anfonodd etto'r
ail waith, ond ni ddeuai efe ddim.

30 Am hynny efe a ddywedodd wrth ei
weision, Gwelwch randir Joab ger fy llaw
i, a haidd *sydd* ganddo ef yno; ewch a
llosgwch hi â thân. A gweision Absalom a
losgasant y rhandir â thân.
31 Yna Joab a gyfododd, ac a ddaeth at
Absalom i'*w* dŷ, ac a ddywedodd wrtho,
Pa ham y llosgodd dy weision di fy rhandir
i â thân?
32 Ac Absalom a ddywedodd wrth Joab,
Wele, mi a anfonais attat ti, gan ddywedyd,
Tyred yma, fel y'th anfonwyf at y brenhin,
i ddywedyd, I ba beth y deuthum i o Ge-
sur? gwell *fuasai* i mi fy *mod* yno etto: ac
yn awr gadawer i mi weled wyneb y bren-
hin; ac od oes gamwedd ynof, lladded fi.
33 Yna Joab a ddaeth at y brenhin, ac a
fynegodd iddo ef. Ac efe a alwodd am Ab-
1025. salom. Yntau a ddaeth at y brenhin, ac a
ymgrymmodd iddo i lawr ar ei wyneb ger
bron y brenhin. A'r brenhin a gusanodd
Absalom.

## PEN. XV.

Ebrill 21. P. 1 *Absalom, trwy ei fwyneidd-dra, yn lladratta
calonnau Israel: 7 ac, yn rhith talu addu-
ned, yn cael cennad i fyned i Hebron: 10
ac yn gwneuthur cyd-fwriad mawr yno.
13 Dafydd, wrth glywed hynny, yn ffoi o
Jerusalem. 19 Ittai heb ymadael ag ef.
24 Danfon Sadoc ac Abïathar yn eu hol
â'r arch. 30 Dafydd a'i gyfeillion yn my-
ned i fynydd yr Olewydd, dan wylo: 31 yn
melldigo cyngor Ahitophel; 32 ac yn anfon
Husai yn ei ol.*

1024. AC wedi hyn [a] y parottôdd Absalom iddo
[a] 1 Bren. 1. 5. ei hun gerbydau, a meirch, a dengwr a
deugain i redeg o'i flaen.
2 Ac Absalom a gyfodai yn fore, ac a
safai ger llaw ffordd y porth: ac Absalom a
alwai atto bob gwr yr oedd iddo fatter i
ddyfod at y brenhin am farn, ac a ddywed-
ai, O ba ddinas *yr ydwyt* ti? Yntau a ddy-
wedai, O un o lwythau Israel *y mae* dy was.
3 Ac Absalom a ddywedai wrtho ef,
Wele, *y mae* dy fatterion yn dda, ac yn un-
ion; ond nid *oes* neb dan y brenhin a
wrandawo arnat ti.
4 Dywedai Absalom hefyd, Oh na'm go-
sodid i yn farnwr yn y wlad, fel y delai attaf fi
bob gwr a fyddai ganddo hawl neu gyng-
haws; myfi a wnawn gyfiawnder iddo.
5 A phan nesâi neb i ymgrymmu iddo ef,
efe a estynai ei law, ac a ymaflai ynddo ef,
ac a'i cusanai.
6 Ac fel hyn y gwnai Absalom i holl Is-
rael y rhai a ddeuent am farn at y brenhin.
Felly Absalom a ladrattaodd galon holl wŷr
Israel.
1023. 7 ¶ Ac ym mhen deugain mlynedd y dy-
wedodd Absalom wrth y brenhin, Gâd i
mi fyned, attolwg, a thalu fy adduned a
addunedais i'r ARGLWYDD, yn Hebron.
8 Canys dy was a addunedodd adduned,
pan oeddwn i yn aros o fewn Gesur yn Sy-
ria, gan ddywedyd, Os gan ddychwelyd
y dychwel yr ARGLWYDD fi i Jerusalem,
yna y gwasanaethaf yr ARGLWYDD.
9 A'r brenhin a ddywedodd wrtho ef,
Dos mewn heddwch. Felly efe a gyfododd,
ac a aeth i Hebron.
10 ¶ Eithr Absalom a anfonodd ysbïwŷr
trwy holl lwythau Israel, gan ddywedyd, Pan
glywoch lais yr udgorn, yna dywedwch,
Absalom sydd yn teyrnasu yn Hebron.
[b] 1 Sam. 9. 13. a 16. 3, 5. 11 A dau gant o wŷr a aethant gyd ag
Absalom o Jerusalem, [b] *ar* wahodd; ac yr
oeddynt yn myned yn eu gwirionded, ac
heb wybod dim oll.
12 Ac Absalom a anfonodd am Ahito-
phel y Giloniad, cynghorwr Dafydd, o'i
ddinas, o Giloh, tra oedd efe yn offrymmu
aberthau. A'r cyd-fradwriaeth *oedd* gryf;
a'r bobl oedd yn amlhâu gyd ag Absalom yn
wastadol.
13 ¶ A daeth cennad at Ddafydd, gan
ddywedyd, Y mae calon gwŷr Israel ar ol
Absalom.
14 A dywedodd Dafydd wrth ei holl
weision y rhai *oedd* gyd ag ef yn Jerusalem,
Cyfodwch, a ffown; canys ni ddïangwn ni
gan Absalom: brysiwch i fyned; rhag iddo
ef frysio a'n dala ni, a † dwyn drwg arnom † *gwthio.*
ni, a tharo'r ddinas â min y cleddyf.
15 A gweision y brenhin a ddywedasant
wrth y brenhin, Wele, dy weision *yn barod*, ar
ol yr hyn oll a ddewiso fy arglwydd frenhin.
16 [c] A'r brenhin a aeth, a'i holl dylwyth [c] Psal. 3. tit.
‡ ar ei ol. A'r brenhin a adawodd ddeg o
ordderch-wragedd i gadw'r tŷ. ‡ *wrth ei draed.*
17 A'r brenhin a aeth ymaith, a'r holl
bobl ar ei ol; a hwy a arhosasant mewn lle
o hirbell.
18 A'i holl weision ef oedd yn cerdded
ger ei law ef: [d] yr holl Cerethiaid, a'r holl [d] Pen. 8. 18.
Pelethiaid, a'r holl Gethiaid, y chwe chan-
wr a ddaethai ar ei ol ef o Gath, oedd yn
cerdded o flaen y brenhin.
19 ¶ Yna y dywedodd y brenhin wrth
Ittai y Gethiad, Pa ham yr ai di hefyd gyd
â ni? Dychwel, a thrig gyd â'r brenhin:
canys alldud *ydwyt* ti, a dïeithr hefyd allan
o'th fro dy hun.
20 Doe y daethost ti; a fudwn i di
heddyw i fyned gyd â ni? Myfi a af; dy-
chwel di, a dwg dy frodyr *gyd â thi:* truga-
redd a gwirionedd *fyddo* gyd â thi.
21 Ac Ittai a attebodd y brenhin, ac a ddy-
wedodd, *Fel mai* byw'r ARGLWYDD, ac
*mai* byw fy arglwydd frenhin, yn ddïau yn
y lle y byddo fy arglwydd frenhin ynddo,
pa un bynnag ai mewn angau ai mewn
einioes, yno y bydd dy was hefyd.
22 A Dafydd a ddywedodd wrth Ittai,
Dos, a cherdda drosodd. Ac Ittai y Geth-
iad a aeth drosodd, a'i holl wŷr, a'r holl
blant *oedd* gyd ag ef.
23 A'r holl wlad oedd yn wylofain â
llef uchel; a'r holl bobl a aethant drosodd.
A'r brenhin a aeth dros afon § Cidron, § A elwir *Cedron,* Ioan 18. 1.
a'r holl bobl a aeth drosodd, tu a ffordd yr
anialwch.
24 ¶ Ac wele, Sadoc, a'r holl Lefiaid *oedd*
gyd ag ef, yn dwyn arch cyfammod DUW;
a hwy a osodasant i lawr arch DUW: ac
Abïathar a aeth i fynu, nes darfod i'r holl
bobl ddyfod allan o'r ddinas.
25 A dywedodd y brenhin wrth Sadoc,
Dychwel ag arch DUW i'r ddinas: os caf
fi ffafr yngolwg yr ARGLWYDD, efe a'm
dwg eilwaith, ac a bar i mi ei gweled hi, a'i
babell.
26 Ond os fel hyn y dywed efe; Nid wyf
foddlon it; wele fi, gwnaed i mi fel *y byddo*
da yn ei olwg.
27 A'r brenhin a ddywedodd wrth Sadoc
yr offeiriad, Onid [e] gweledydd *ydwyt* ti? [e] 1 Sam. 9. 9.
dychwel i'r ddinas mewn heddwch, [f] a'th
ddau fab gyd â thi, *sef* Ahimaas dy fab, a [f] Edrych Pen. 17. 17.
Jonathan mab Abïathar.
28 Gwelwch, mi a drigaf yngwastadedd yr
anialwch, nes dyfod gair oddi wrthych i'w
fynegi i mi.

29 Felly Sadoc ac Abïathar a ddygasant
yn ei hol arch Duw i Jerusalem; ac a ar-
hosasant yno.
30 ¶ A Dafydd a aeth i fynu i *fryn* yr
Olewŷdd; *ac yr oedd* yn myned i fynu ac yn
[g] Pen. 19. 4. wylo, [g] a'i ben wedi ei orchuddio, ac *yr*
Est. 6. 12. *oedd* efe yn myned yn droednoeth. A'r holl
bobl y rhai *oedd* gyd ag ef a orchuddiasant
bawb ei ben, ac a aethant i fynu, gan fyned
ac wylo.
31 ¶ A mynegwyd i Ddafydd, gan ddy-
wedyd, Y *mae* Ahitophel ym mysg y cyd-
fwriadwŷr gyd ag Absalom. A Dafydd a
[h] Pen. 17. 14, 23. ddywedodd, O ARGLWYDD, [h] tro, attolwg,
gyngor Ahitophel yn ffolineb.
32 ¶ A *phan* ddaeth Dafydd i ben *y bryn*
yr addolodd efe DDUW yno, wele, Husai
[i] Pen. 1. 2. yr Arciad yn ei gyfarfod ef, [i] wedi rhwygo
ei bais, a phridd ar ei ben.
33 A Dafydd a ddywedodd wrtho, Od ai
drosodd gyd â mi, ti a fyddi yn faich arnaf.
34 Ond os dychweli i'r ddinas, a dywed-
[k] Pen. 16. 19. yd wrth Absalom, [k] Dy was di, O frenhin,
fyddaf fi; gwas dy dad *fum* hyd yn hyn, ac
yn awr dy was dithau *fyddaf*: ac felly y
diddymmi i mi gyngor Ahitophel.
35 Oni *bydd* gyd â thi yno Sadoc ac Abïa-
thar yr offeiriaid? am hynny pob gair a
[l] Pen. 17. 15, 16. glywech o dŷ'r brenhin, [l] mynega i Sadoc
ac i Abiathar yr offeiriaid.
[m] Adn. 27. 36 Wele, *y mae* yno [m] gyd â hwynt eu dau
fab, Ahimaas *mab* Sadoc, a Jonathan *mab*
Abïathar: danfonwch gan hynny gyd â
hwynt attaf fi bob peth a'r a glywoch.
[n] Pen. 16. 16. 37 Felly [n] Husai, cyfaill Dafydd, a ddaeth
1 Chron. 27. i'r ddinas; ac Absalom a ddaeth i Jeru-
33. salem.

## PEN. XVI.

Ebrill 22. B. 1 *Siba, trwy anrhegion a chelwyddau, yn cael*
*etifeddiaeth ei feistr.* 5 *Simei yn mell-*
*dithio Dafydd yn Bahurim.* 9 *Dafydd,*
*trwy ammynedd, yn ei gadw ei hun ac eraill*
*rhag dial.* 15 *Husai yn ymlusgo i mewn i*
*gyfrinach Absalom.* 20 *Cyngor Ahitophel.*

1023. AC wedi myned o Ddafydd ychydig dros
[a] Pen. 15. 30. ben [a] *y bryn*, wele, [b] Siba gwas Me-
phiboseth yn ei gyfarfod ef â chwpl o as-
[b] Pen. 9. 2. ynod wedi eu cyfrwyo, ac arnynt hwy'r
*oedd* dau can *torth* o fara, a chan swp o re-
synau, a chant o ffrwythydd haf, a cho-
strelaid o win.
2 A dywedodd y brenhin wrth Siba, Beth
*yw*'r rhai hyn *sydd* gennyt? A Siba a ddy-
wedodd, Asynod i dylwyth y brenhin i
farchogaeth, a bara a ffrwythydd haf i'r
llangciau i'w bwytta, a gwin i'r lluddedig
i'w yfed yn yr anialwch, *ydynt hwy*.
3 A'r brenhin a ddywedodd, A pha le *y*
[c] Pen. 19. 27. *mae* mab dy feistr? A [c] Siba a ddywedodd
wrth y brenhin, Wele, y mae efe yn aros
yn Jerusalem: canys efe a ddywedodd,
Tŷ Israel a roddant drachefn i mi heddyw
frenhiniaeth fy nhad.
4 Yna y dywedodd y brenhin wrth Si-
ba, Wele, eiddot ti'r hyn oll *oedd eiddo*
Mephiboseth. A Siba a ddywedodd, Yr
† Heb. *ymgrymmu i.* ydwyf yn † attolwg gael o honof ffafr yn
dy olwg di, fy arglwydd frenhin.
5 ¶ A phan ddaeth y brenhin Dafydd
[d] 1 Bren. 2. 8. hyd Bahurim, wele, [d] un o dylwyth tŷ
Saul yn dyfod allan oddi yno, a'i enw ef
*oedd* Simei, mab Gera: efe a ddaeth allan,
dan gerdded a melldigo.
‡ *gerrig at Ddafydd, ac at, &c.* 6 Ac efe a daflodd ‡ Ddafydd â cherrig, a
holl weision y brenhin Dafydd: ac *yr oedd*
yr holl bobl a'r holl gedyrn ar ei law dde-
hau ac ar ei law aswy ef.
7 Ac fel hyn y dywedai Simei wrth fell-
dithio; Tyred allan, tyred allan, wr gwaed-
lyd, a gwr i'r fall.
8 Yr ARGLWYDD a drodd arnat ti holl
waed tŷ Saul, yr hwn y teyrnesaist yn ei
le; a'r ARGLWYDD a roddodd y frenhin-
iaeth yn llaw Absalom dy fab: ac wele, di
*wedi dy ddal* yn dy ddrygioni; canys gwr
gwaedlyd *wyt* ti.
9 ¶ Yna y dywedodd Abisai mab Serfiah
wrth y brenhin, Pa ham y melldithia [e] y ci [e] 1 Sam. 24. 14.
marw hwn fy arglwydd frenhin? gâd i mi Pen. 9. 8.
fyned drosodd, attolwg, a thorri ei ben ef.
10 A'r brenhin a ddywedodd, [f] Beth *sydd* [f] Pen. 19.
i mi *a wnelwyf* â chwi, meibion Serfiah? 22.
felly melldithied, o herwydd [g] yr AR- [g] Edrych
GLWYDD a ddywedodd wrtho, Melldithia 2 Bren. 18. 25.
Ddafydd. Am hynny pwy a ddywed, Pa Galar. 3.
ham y gwnai fel hyn? 38.
11 A Dafydd a ddywedodd wrth Abisai,
ac wrth ei holl weision, Wele, fy mab, yr
hwn a ddaeth allan o'm hymysgaroedd i,
yn ceisio fy einioes: ac yn awr pa faint
mwy *y cais* y Benjaminiad hwn? Gadewch
iddo, a melldithied: canys yr ARGLWYDD
a archodd iddo.
12 Fe a allai yr edrych yr ARGLWYDD ar
§ fy nghystudd i, ac y dyry'r ARGLWYDD § Neu, *fy*
i mi ddaioni am ei felldith ef y dydd hwn. *nagrau.*
13 Ac fel yr oedd Dafydd a'i wŷr yn my- Heb. *llygad.*
ned ar hŷd y ffordd, Simei yntau oedd yn my-
ned ar hŷd ystlys y mynydd, ar ei gyfer
ef; ac fel yr oedd efe yn myned, efe a fell-
dithiai, ac a daflai gerrig, ac ‖ a fwriai lwch ‖ Heb.
i'w erbyn ef. *a'i llychwinodd ef*
14 A daeth y brenhin, a'r holl bobl *oedd* *â llwch.*
gyd ag ef, yn lluddedig, ac a orphwysodd
yno.
15 ¶ Ac Absalom a'r holl bobl, gwŷr
Israel, a ddaethant i Jerusalem, ac Ahito-
phel gyd ag ef.
16 A phan ddaeth Husai'r Arciad, [h] cyfaill [h] Pen. 15.
Dafydd, at Absalom, Husai a ddywedodd 37.
wrth Absalom, Byw fo'r brenhin, byw
fyddo'r brenhin.
17 Ac Absalom a ddywedodd wrth Husai,
Ai dyma dy garedigrwydd di i'th gyfaill?
pa ham nad aethost ti gyd â'th gyfaill?
18 A Husai a ddywedodd wrth Absalom,
Nag ê; eithr yr hwn a ddewiso'r AR-
GLWYDD, a'r bobl yma, a holl wŷr Israel,
eiddo ef fyddaf fi, a chyd ag ef yr arhosaf fi.
19 A phwy hefyd [i] a wasanaethaf? onid [i] Pen. 15.
ger bron ei fab ef? Megis y gwasanaethais 34.
ger bron dy dad di, felly y byddaf ger dy
fron dithau.
20 ¶ Yna y dywedodd Absalom wrth
Ahitophel, Moeswch eich cyngor beth a
wnawn ni.
21 Ac Ahitophel a ddywedodd wrth Ab-
salom, Dos i mewn at orderch-wragedd
dy dad, y rhai a adawodd efe i gadw'r tŷ:
pan glywo holl Israel dy fod yn ffiaidd gan
dy dad, yna y cryfhêir llaw y rhai oll *sydd*
gyd â thi.
22 Felly y taenasant i Absalom babell ar
nen y tŷ: ac Absalom [k] a aeth i mewn [k] Pen. 12.
at orderch-wragedd ei dad, yngŵydd holl 11, 12.
Israel.
23 A chyngor Ahitophel, yr hwn a gyng-
horai efe yn y dyddiau hynny, *oedd* fel pe'd
ymofynai *un* â gair Duw: felly'r *oedd* holl
gyngor Ahitophel, gyd â Dafydd a chyd ag
Absalom.

## PEN. XVII.

Ebrill 22. B. 1 *Cyngor Husai, trwy ewyllys Duw, yn dif-*
*wyno cyngor Ahitophel. 15 Danfon dirgel*
*gydnabyddiaeth i Ddafydd. 23 Ahitophel*
*yn ymgrogi. 25 Gwneuthur Amasa yn*
*gapten. 27 Dafydd yn cael ymborth ym*
*Mahanaim.*

1023. DYWEDODD Ahitophel hefyd wrth Ab-
salom, Gâd i mi yn awr ddewis deu-
ddeng mil o wŷr, a mi a gyfodaf ac a er-
lidiaf ar ol Dafydd y nos hon.
2 A mi a ddeuaf arno tra *fyddo* ef yn
lluddedig, ac yn wan ei ddwylaw, ac a'i
brawychaf ef: a ffŷ'r holl bobl *sydd* gyd ag
ef; a mi a darawaf y brenhin yn unig.
3 A throaf yr holl bobl attat ti: megis pe
dychwelai pob un, *yw* y gwr yr ydwyt ti'n ei
geisio: *felly*'r holl bobl fydd mewn heddwch.
4 A da fu'r peth yngolwg Absalom, ac
yngolwg holl henuriaid Israel.
5 Yna y dywedodd Absalom, Galw yn
awr hefyd ar Husai yr Arciad, a gwrandâwn
† Heb. *sy'n ei enau yntau.* beth † a ddywedo yntau hefyd.
6 A phan ddaeth Husai at Absalom, lle-
farodd Absalom wrtho ef, gan ddywedyd,
Fel hyn y dywedodd Ahitophel: a wnawn
‡ Heb. *yn ol ei air ef.* ni ‡ ei gyngor ef? onid ê, dywed di.
7 A dywedodd Husai wrth Absalom, Nid
da'r cyngor a gynghorodd Ahitophel y waith
hon.
8 Canys (eb Husai) ti a wyddost am dy
dad a'i wŷr, mai cryfion *ydynt* hwy, a
§ Heb. *chwerw eu henaid.* § chreulon eu meddwl, megis [a] arth wedi
colli ei chenawon yn y maes: dy dad hefyd
[a] Hos. 13. 8. *sydd* ryfelwr, ac nid erys efe dros nos gyd
â'r bobl.
9 Wele, yn awr y mae efe yn llechu mewn
rhyw ogof, neu mewn rhyw le: a phan
syrthio *rhai* o honynt yn y dechreu, yna'r
*bobl* a glyw, ac a ddywed, Bu laddfa ym
mysg y bobl *sydd* ar ol Absalom.
10 Yna'r un grymmus, yr hwn *y mae* ei
galon fel calon llew, a lwfrhâ: canys gŵyr
holl Israel mai glew *yw* dy dad di, ac *mai*
gwŷr grymmus *yw* y rhai *sydd* gyd ag ef.
11 Am hynny y cynghoraf, lwyr-gasglu
[b] Barn. 20. 1. attat ti holl Israel, [b] o Ddan hyd Beer-seba,
fel y tywod wrth y môr o amldra, a myned
o'th wyneb di dy hun i'r rhyfel.
12 Felly y deuwn arno ef i un o'r lleoedd
yr hwn y ceffir ef ynddo, ac a ruthrwn arno
ef fel y syrth y gwlith ar y ddaear: ac ni
adewir *dim* o hono ef, nac un chwaith o'r
holl wŷr *sydd* gyd ag ef.
13 Ond os i ddinas yr ymgasgl efe, yna
holl Israel a ddygant raffau at y ddinas hon-
no, a ni a'i tynnwn hi i'r afon, fel na chaffer
yno un garregan.
14 A dywedodd Absalom, a holl wŷr Is-
rael, Gwell *yw* cyngor Husai yr Arciad nâ
[c] Pen. 15. 31. chyngor Ahitophel. Canys [c] yr ARGLWYDD
‖ Heb. *orchymynasai.* a ‖ ordeiniasai ddiddymmu cyngor da Ahi-
tophel, fel y dygai'r ARGLWYDD ddrwg ar
Absalom.
15 ¶ Yna y dywedodd Husai wrth Sadoc
ac wrth Abiathar yr offeiriaid, Fel hyn ac
fel hyn y cynghorodd Ahitophel i Absalom,
ac i henuriaid Israel; ac fel hyn ac fel hyn
y cynghorais innau.
16 Yn awr gan hynny anfonwch yn fuan,
a mynegwch i Ddafydd, gan ddywedyd,
Nac aros dros nos yngwastadedd yr anial-
[d] Pen. 15. 27. wch, ond gan fyned dos, rhag difa'r bren-
hin a'r holl bobl *sydd* gyd ag ef.
[e] Jos. 15. 7. a 18. 16. 17 [d] Jonathan hefyd ac Ahimaas oedd yn
sefyll wrth [e] En-rogel; ac fe aeth llangces
ac a fynegodd iddynt. Hwythau a aethant
ac a fynegasant i'r brenhin Dafydd: canys
ni allent hwy ymddangos i fyned i'r ddinas.
18 Etto llangc a'u gwelodd hwynt, ac a
fynegodd i Absalom: ond hwy a aethant
ymaith ill dau yn fuan, ac a ddaethant i dŷ
gwr yn Bahurim, ac iddo ef *yr oedd* pydew
yn ei gyntedd; a hwy a aethant i wared yno.
19 [f] A'r wraig a gymmerth ac a ledodd [f] Edrych Jos. 2. 4, &c.
† glawr ar wyneb y pydew, ac a daenodd
arno falurion ŷd; fel na wybuwyd y peth. † *gaead.*
20 A phan ddaeth gweision Absalom at y
wraig i'r tŷ, hwy a ddywedasant, Pa le *y*
*mae* Ahimaas a Jonathan? [g] A'r wraig a [g] Edrych Exod. 1. 19.
ddywedodd wrthynt, Hwy a aethant dros yr
aber ddwfr. A phan geisiasant, ac na's caw-
sant *hwynt*, yna y dychwelasant i Jerusalem.
21 Ac ar ol iddynt hwy fyned ymaith,
yna *y lleill* a ddaethant i fynu o'r pydew,
ac a aethant ac a fynegasant i'r brenhin
Dafydd; ac a ddywedasant wrth Ddafydd,
Cyfodwch, ac ewch yn fuan dros y dwfr:
canys fel hyn y cynghorodd Ahitophel yn
eich erbyn chwi.
22 Yna y cododd Dafydd a'r holl bobl
y rhai *oedd* gyd ag ef, ac a aethant dros yr
Iorddonen: erbyn goleuo'r bore nid oedd un
yn eisiau a'r nad aethai dros yr Iorddonen.
23 ¶ A phan welodd Ahitophel na wneu-
thid ei gyngor ef, efe a gyfrwyodd *ei* asyn,
ac a gyfododd, ac a aeth i'w dŷ ei hun, i'w
ddinas, ac a wnaeth drefn ar ei dŷ, ac a
ymgrogodd, ac a fu farw, ac a gladdwyd ym
meddrod ei dad.
24 Yna Dafydd a ddaeth i Mahanaim. Ac
Absalom a aeth dros yr Iorddonen, efe a
holl wŷr Israel gyd ag ef.
25 ¶ Ac Absalom a osododd Amasa yn
lle Joab ar y llu. Ac Amasa *oedd* fab i wr
a'i enw Ithra, yr hwn *oedd* Israeliad, yr hwn
a aeth i mewn at [h] Abigail ferch Nahas, [h] 1 Chron. 2. 16, 17.
chwaer Serfiah, mam Joab.
26 Felly y gwersyllodd Israel ac Absalom
yngwlâd Gilead.
27 ¶ A phan ddaeth Dafydd i Mahanaim,
Sobi mab Nahas o Rabbath meibion Am-
mon, a [i] Machir mab Ammiel o Lo-debar, a [i] Pen. 9. 5.
[k] Barzilai y Gileadiad o Rogelim, [k] Pen. 19. 31, 32.
28 A ddygasant welyau, a ‡ chawgiau, a
llestri pridd, a gwenith, a haidd, a blawd, 1 Bren. 2. 7.
a chras-*yd*, a ffa, a ffacbys, a chras-*bys*,
29 A mel, ac ymenyn, a defaid, a chaws ‡ Neu, *phiolau.*
gwartheg, i Ddafydd, ac i'r bobl *oedd* gyd ag
ef, i'w bwytta. Canys dywedasant, *Y mae*'r
bobl yn newynog, yn flin hefyd, ac yn sy-
chedig [l] yn yr anialwch. [l] Pen. 16. 2.

## PEN. XVIII.

1 *Dafydd yn edrych ar y lluoedd yn myned* Ebrill 23. B.
*allan, ac yn rhoddi gorchymyn ynghylch*
*Absalom. 6 Lladdfa fawr ar yr Israeliaid*
*ynghoed Ephraim. 9 Absalom ynghrog wrth*
*ei wallt mewn derwen; a Joab yn ei ladd*
*ef, ac yn ei fwrw mewn pydew. 18 Lle*
*Absalom. 19 Ahimaas a Chusi yn dwyn*
*newyddion i Ddafydd. 33 Dafydd yn ga-*
*laru am Absalom.*

A Dafydd a gyfrifodd y bobl *oedd* gyd ag 1023.
ef, ac a osododd arnynt hwy filwriaid a
channwriaid.
2 A Dafydd a anfonodd o'r bobl y dry-
dedd ran dan law Joab, a'r drydedd ran
dan law Abisai fab Serfiah, brawd Joab, a'r
drydedd ran dan law Ittai y Gethiad. A'r
brenhin a ddywedodd wrth y bobl, Gan
fyned yr af finnau hefyd gyd â chwi.

3 Ond [a] y bobl a attebodd, Nid ai di allan: canys os gan ffoi y ffown ni, ni osodant hwy *eu* meddwl arnom ni; ac os bydd marw ein hanner ni, ni osodant *eu* † meddwl arnom: ond yn awr *yr ydwyt ti* fel deng mil o honom ni: yn awr gan hynny gwell *yw* i ti fod i'n cynnorthwyo ni o'r ddinas.

[a] Pen. 21. 17.
† Heb. *calon.*

4 A dywedodd y brenhin wrthynt hwy, Gwnaf yr hyn fyddo da yn eich golwg chwi. A'r brenhin a safodd ger llaw 'r porth; a'r holl bobl a aethant allan yn gannoedd ac yn filoedd.

5 A'r brenhin a orchymynodd i Joab, ac Abisai, ac Ittai, gan ddywedyd, *Byddwch* esmwyth, er fy mwyn i, wrth y llangc Absalom. A'r holl bobl a glywsant pan orchymynodd y brenhin i'r holl flaenoriaid yn achos Absalom.

6 ¶ Felly 'r aeth y bobl i'r maes i gyfarfod Israel: a'r rhyfel fu ynghoed Ephraim.

7 Ac yno y lladdwyd pobl Israel o flaen gweision Dafydd; ac yno y bu lladdfa fawr y dwthwn hwnnw, *sef* ugain mil.

8 Canys y rhyfel oedd yno wedi gwasgaru ar hyd wyneb yr holl wlad: a'r coed a ‡ ddifethodd fwy o'r bobl nag a ddifethodd y cleddyf y dwrnod hwnnw.

‡ Heb. *amlhaodd ddifetha.*

9 ¶ Ac Absalom a gyfarfu â gweision Dafydd yn *eu* hwyneb. Ac Absalom oedd yn marchogaeth ar ful, a'r mul a aeth dan dewfrig derwen fawr, a'i ben ef a lynodd yn y dderwen: felly yr oedd efe rhwng y nefoedd a'r ddaear; a'r mul *oedd* dano ef a aeth ymaith.

10 A rhyw un a ganfu *hynny*, ac a fynegodd i Joab, ac a ddywedodd, Wele, gwelais Absalom ynghrôg mewn derwen.

11 A dywedodd Joab wrth y gwr oedd yn mynegi iddo, Ac wele, ti a'i gwelaist *ef*; pa ham na's tarewaist ef yno i'r llawr, ac arnaf fi roddi i ti ddeg *sicl* o arian, ac un gwregys?

12 A dywedodd y gwr wrth Joab, Pe cawn bwyso ar fy llaw fil *o siclau* arian, nid estynwn fy llaw yn erbyn mab y brenhin: canys gorchymynodd y brenhin lle y clywsom ni wrthyt ti, ac wrth Abisai, ac wrth Ittai, gan ddywedyd, § Gwyliwch *gyffwrdd* o neb â'r llangc Absalom.

§ Heb. *Gwyliwch, pwy bynnag fyddoch, rhag y llangc Absalom.*

13 Os amgen, mi a wnaethwn ffalster yn erbyn fy einioes: canys nid oes dim yn guddiedig oddi wrth y brenhin; tithau hefyd a safasit yn *fy* erbyn.

14 Yna y dywedodd Joab, Nid arhoaf fel hyn ‖ gyd â thi. Ac efe a gymmerth dair o biccellau yn ei law, ac a'u brathodd trwy galon Absalom, ac efe etto yn fyw † ynghanol y dderwen.

‖ Heb. *o'th flaen di.*
† Heb. *ynghalon.*

15 A'r deg llangc *y rhai* oedd yn dwyn arfau Joab a amgylchynasant, ac a darawsant Absalom, ac a'i lladdasant ef.

16 A Joab a udganodd mewn udgorn; a'r bobl a ddychwelodd o erlid ar ol Israel: canys Joab a attaliodd y bobl.

17 A hwy a gymmerasant Absalom, ac a'i bwriasant ef mewn ffos fawr yn y coed, ac [b] a osodasant arno garnedd gerrig fawr iawn: a holl Israel a ffoisant bob un i'w babell.

[b] Jos. 7. 26.

18 ¶ Ac Absalom a gymmerasai ac a osodasai iddo yn ei fywyd golofn, [c] yn nyffryn y brenhin: canys efe a ddywedodd, [d] Nid *oes* fab gennyf i wneuthur coffa am fy enw: ac efe a alwodd y golofn ar ei enw ei hun. A hi a elwir Lle Absalom, hyd y dydd hwn.

[c] Gen. 14. 17.
[d] Edrych Pen. 14. 27.

19 ¶ Yna Ahimaas mab Sadoc a ddywedodd, Gâd i mi redeg yn awr, a mynegi i'r brenhin, ddarfod i'r ARGLWYDD ei ‡ ddial ef ar ei elynion.

‡ Heb. *farnu ef o law.*

20 A Joab a ddywedodd wrtho ef, Ni *byddi* di yn gennadwr y dydd hwn, eithr mynegi ddiwrnod arall: ond heddyw ni byddi di gennad, o herwydd marw mab y brenhin.

21 Yna y dywedodd Joab wrth Cusi, Dos, dywed i'r brenhin yr hyn a welaist. A Chusi a ymgrymmodd i Joab, ac a redodd.

22 Yna Ahimaas mab Sadoc a ddywedodd eilwaith wrth Joab, § Beth bynnag a fyddo, gâd i minnau, attolwg, redeg ar ol Cusi. A dywedodd Joab, I ba beth y rhedi di, fy mab, gan nad *oes* gennyt gennadwriaeth addas?

§ Heb. *Bydded a fyddo.*

23 Ond beth bynnag a fyddo (*eb efe*) gâd i mi redeg. A dywedodd yntau wrtho, Rhed. Felly Ahimaas a redodd ar hyd y gwastadedd, ac a aeth heibio i Cusi.

24 A Dafydd oedd yn eistedd rhwng y ddau borth: a'r gwyliedydd a aeth ar nen y porth ar y mur, ac a ddyrchafodd ei lygaid, ac a edrychodd; ac wele, wr yn rhedeg ei hunan.

25 A'r gwyliedydd a waeddodd, ac a fynegodd i'r brenhin. A'r brenhin a ddywedodd, Os ei hun *y mae* efe, cennadwriaeth *sydd* yn ei enau ef. Ac efe a ddaeth yn fuan, ac a nesaodd.

26 A'r gwyliedydd a ganfu wr arall yn rhedeg: a'r gwyliedydd a alwodd ar y porthor, ac a ddywedodd, Wele, wr *arall* yn rhedeg ei hunan. A dywedodd y brenhin, Hwn hefyd sydd gennad.

27 A'r gwyliedydd a ddywedodd, Yr ydwyf fi yn gweled rhediad y blaenaf fel rhediad Ahimaas mab Sadoc. A dywedodd y brenhin, Gwr da *yw* hwnnw, ac â chennadwriaeth dda y daw efe.

28 Ac Ahimaas a alwodd, ac a ddywedodd wrth y brenhin, Heddwch: ac a ymgrymmodd i lawr ar ei wyneb ger bron y brenhin, ac a ddywedodd, Bendigedig *fyddo*'r ARGLWYDD dy DDUW, yr hwn a warchaeodd ar y gwŷr a gyfodasant eu llaw yn erbyn fy arglwydd frenhin.

29 A'r brenhin a ddywedodd, ‖ Ai diangol y llangc Absalom? A dywedodd Ahimaas, Gwelais gythrwfl mawr, pan anfonodd Joab was y brenhin, a'th was dithau, ond ni wybûm i beth *ydoedd*.

‖ Heb. *Oes heddwch i'r llangc.*

30 A'r brenhin a ddywedodd, Tro heibio; saf yma. Ac efe a drodd heibio, ac a safodd.

31 Ac wele, Cusi a ddaeth. A dywedodd Cusi, Cennadwri, arglwydd frenhin: canys yr ARGLWYDD a'th ddïalodd di heddyw ar bawb a'r a ymgyfododd i'th erbyn.

32 A dywedodd y brenhin wrth Cusi, A ddïangodd y llangc Absalom? A dywedodd Cusi, Fel y llangc hwnnw y byddo gelynion fy arglwydd frenhin, a'r holl rai a ymgyfodant i'th erbyn di er niweid *i ti*.

33 ¶ A'r brenhin a gyffrôdd, ac a aeth i fynu i 'stafell y porth, ac a wylodd: ac fel hyn y dywedodd efe wrth fyned; [e] O fy mab Absalom, fy mab, fy mab Absalom: O na buaswn farw drosot ti, Absalom, fy mab, fy mab.

[e] Pen. 19. 4.

## PEN. XIX.

1 *Joab yn peri i'r brenhin beidio â galaru.* 9 *Yr Israeliaid yn daer am ddwyn y brenhin adref.* 11 *Dafydd yn anfon at yr offeiriaid i gynhyrfu gwŷr Judah.* 18 *Simei yn cael ei bardwn;* 24 *a Mephiboseth ei esgusodi.*

Sal 6 ar ol y Drindod, P. Ebrill 23. P.

*32 Barzilai yn cael cennad i fyned adref;*
*a chymmeryd Chimham ei fab ef i dŷ'r*
*brenhin. 41 Yr Israeliaid yn ymsennu â*
*gwŷr Judah, am ddwyn y brenhin adref*
*hebddynt hwy.*

1023. A Mynegwyd i Joab, Wele'r brenhin yn
wylo, ac yn galaru am Absalom.
† Heb. *ymwared.* 2 A'r † fuddugoliaeth *a aeth* y dwthwn
hwnnw yn alar i'r holl bobl: canys clyw-
odd y bobl y diwrnod hwnnw ddywedyd,
dristâu o'r brenhin am ei fab.
3 A'r bobl a aethant yn lladradaidd y
diwrnod hwnnw i mewn i'r ddinas, fel
pobl a fyddai yn myned yn lladradaidd
wedi eu cywilyddio wrth ffoi o ryfel.
[a] Pen. 15. 30. 4 Ond y brenhin [a] a orchuddiodd ei
wyneb; a'r brenhin a waeddodd â llef
[b] Pen. 18. 33. uchel, [b] O fy mab Absalom, Absalom, fy
mab, fy mab.
5 A Joab a ddaeth i mewn i'r tŷ at y
brenhin, ac a ddywedodd, Gwaradwyddaist
heddyw wynebau dy holl weision, y rhai a
ymddiffynasant dy einioes di heddyw, ac
einioes dy feibion a'th ferched, ac einioes dy
wragedd, ac einioes dy orderch-wragedd;
6 Gan garu dy gaseion, a chasâu dy
garedigion: canys dangosaist heddyw nad
oedd ddim gennyt dy dywysogion, na'th
weision: o herwydd mi a wn heddyw, pe
Absalom fuasai byw, a ninnau i gŷd yn
feirw heddyw, mai da fuasai *hynny* yn dy
olwg di.
7 Cyfod yn awr gan hynny, cerdda allan,
‡ Heb. *wrth fodd calon.* a dywed ‡ yn dêg wrth dy weision: canys
yr wyf fi yn tyngu i'r ARGLWYDD, os ti
nid ai allan, nad erys neb gyd â thi y nos
hon; a gwaeth fydd hyn i ti nâ'r holl
ddrwg a ddaeth i'th erbyn di o'th febyd
hyd yr awr hon.
8 Yna y brenhin a gyfododd, ac a eistedd-
odd yn y porth. A mynegwyd i'r holl
bobl, gan ddywedyd, Wele y brenhin yn
eistedd yn y porth. A'r holl bobl a ddaeth-
ant o flaen y brenhin: canys Israel a ffoisai
bob un i'w babell.
9 ¶ Ac yr oedd yr holl bobl yn ymryson
trwy holl lwythau Israel, gan ddywedyd,
Y brenhin a'n gwaredodd ni o law'n ge-
lynion, ac efe a'n gwaredodd ni o law'r
Philistiaid; ac yn awr efe a ffodd o'r wlad
rhag Absalom.
10 Ac Absalom, yr hwn a eneiniasom
ni arnom, a fu farw mewn rhyfel: ac yn
awr pa ham yr ydych heb son am gyrchu'r
brenhin drachefn?
11 ¶ A'r brenhin Dafydd a anfonodd at
Sadoc ac at Abïathar yr offeiriaid, gan
ddywedyd, Lleferwch wrth henuriaid Ju-
dah, gan ddywedyd, Pa ham yr ydych chwi
olaf i ddwyn y brenhin yn ei ol i'w dŷ?
canys gair holl Israel a ddaeth at y brenhin,
hyd ei dŷ.
12 Fy mrodyr *ydych* chwi; fy asgwrn a'm
cnawd *ydych* chwi: pa ham gan hynny'r
ydych yn olaf i ddwyn y brenhin adref?
[c] Pen. 17. 25. 13 Dywedwch hefyd wrth Amasa, [c] Onid
[d] Ruth 1. 17. fy asgwrn i a'm cnawd *wyt* ti? [d] Fel hyn y
gwnelo Duw i mi, ac fel hyn y 'chwanego,
onid tywysog y llu fyddi di ger fy mron i
yn lle Joab byth.
14 Ac efe a drodd galon holl wŷr Judah,
[e] Barn. 20. 1. [e] fel *calon* un gwr: a hwy a anfonasant at y
brenhin, *gan ddywedyd,* Dychwel di a'th holl
weision.
15 Felly y brenhin a ddychwelodd, ac a
ddaeth i'r Iorddonen. A Judah a ddaeth i
Gilgal, i fyned i gyfarfod â'r brenhin, i
ddwyn y brenhin dros yr Iorddonen.
16 ¶ A [f] Simei mab Gera, mab Jemini, [f] Pen. 16.
yr hwn *oedd* o Bahurim, a frysiodd, ac a 5.
ddaeth i wared gyd â gwŷr Judah, i gyfar- 1 Bren. 2.
fod â'r brenhin Dafydd. 8.
17 A mil o wŷr o Benjamin *oedd* gyd ag
ef; [g] Siba hefyd gwas tŷ Saul, a'i bymtheng [g] Pen. 16.
mab a'i ugain gwas gyd ag ef: a hwy a 1, 2.
aethant dros yr Iorddonen o flaen y brenhin.
18 Ac ysgraff a aeth drosodd i ddwyn
trwodd dylwyth y brenhin, ac i wneuthur
yr hyn fyddai da yn ei olwg ef. A Simei
mab Gera a syrthiodd ger bron y brenhin,
pan ddaeth efe dros yr Iorddonen;
19 Ac a ddywedodd wrth y brenhin,
Na ddanoded fy arglwydd i mi anwiredd,
ac na chofia [h] yr hyn a wnaeth dy was yn [h] Pen. 16.
anwir y dydd yr aeth fy arglwydd frenhin 5.
o Jerusalem, i osod o'r brenhin *hynny* at ei
galon.
20 Canys dy was sydd yn cydnabod bechu
o honof fi: ac wele, deuthum heddyw yn
gyntaf o holl dŷ Joseph, i ddyfod i wared i
gyfarfod â'm harglwydd frenhin.
21 Ac Abisai mab Serfiah a attebodd, ac
a ddywedodd, Ai o herwydd hyn ni roddir
Simei i farwolaeth, am iddo felldithio en-
neiniog yr ARGLWYDD?
22 A dywedodd Dafydd, [i] Beth *sydd* i mi [i] Pen. 16.
*a wneluyf* â chwi, meibion Serfiah, fel y 10.
byddych i mi yn wrthwynebwŷr heddyw?
[k] a roddir i farwolaeth heddyw neb yn Is- [k] 1 Sam. 11.
rael? canys oni wn i, mai heddyw'r *ydwyf* 13.
fi yn frenhin ar Israel?
23 [l] A'r brenhin a ddywedodd wrth Si- [l] 1 Bren. 2.
mei, Ni byddi di farw: a'r brenhin a dyng- 8, 9, 37, 46.
odd wrtho ef.
24 ¶ [m] Mephiboseth mab Saul hefyd a [m] Pen. 9.
ddaeth i wared i gyfarfod â'r brenhin; ac 6.
ni olchasai efe ei draed, ac ni thorrasai ei
farf, ac ni olchasai ei ddillad, er y dydd yr
aethai'r brenhin hyd y dydd y daeth efe
*drachefn* mewn heddwch.
25 A phan ddaeth efe i Jerusalem i gyf-
arfod â'r brenhin, yna y dywedodd y bren-
hin wrtho ef, Pa ham nad aethost ti gyd â
mi, Mephiboseth?
26 Ac efe a ddywedodd, Fy arglwydd
frenhin, fy ngwas a'm twyllodd i: canys
dywedodd dy was, Cyfrwyaf i mi asyn, fel
y marchogwyf arni, ac yr elwyf at y bren-
hin; o herwydd cloff *yw* dy was.
27 Ac [n] efe a enllibiodd dy was wrth fy [n] Pen. 16.
arglwydd frenhin; ond fy arglwydd frenhin 3.
*sydd* [o] fel angel Duw: am hynny gwna *yr* [o] Pen. 14.
*hyn fyddo* da yn dy olwg. 17, 20.
28 Canys nid oedd holl dŷ fy nhad i ond
dynion § meirw ger bron fy arglwydd y § Heb.
brenhin; etto [p] tydi a osodaist dy was ym *marwolaeth.*
mhlith y rhai oedd yn bwytta ar dy fwrdd [p] Pen. 9. 7,
dy hun: pa gyfiawnder gan hynny sydd i 10, 13.
mi bellach i waeddi mwy ar y brenhin?
29 A'r brenhin a ddywedodd wrtho, I ba
beth yr adroddi dy fatterion ym mhellach?
dywedais, Ti a Siba rhennwch y tir.
30 A Mephiboseth a ddywedodd wrth
y brenhin, Ië, cymmered efe'r cwbl, gan
ddyfod fy arglwydd frenhin i'w dŷ mewn
heddwch.
31 ¶ A [q] Barzilai y Gileadiad a ddaeth [q] 1 Bren. 2.
i wared o Rogelim, ac a aeth dros yr Ior- 7.
ddonen gyd â'r brenhin, i'w hebrwng ef
dros yr Iorddonen.
32 A Barzilai *oedd* hen iawn, yn fab [r] Pen. 17.
pedwar ugain mlwydd: [r] efe oedd yn 27.

darparu lluniaeth i'r brenhin tra 'r ydoedd efe ym Mahanaim; canys gwr mawr iawn *oedd* efe.

33 A'r brenhin a ddywedodd wrth Barzilai, Tyred drosodd gyd â mi, a mi a'th borthaf di gyd â mi yn Jerusalem.

34 A Barzilai a ddywedodd wrth y brenhin, Pa faint *yw* dyddiau blynyddoedd fy einioes i, fel yr elwn i fynu gyd â'r brenhin i Jerusalem?

35 Mab pedwar ugain mlwydd *ydwyf* fi heddyw: a wn i ragoriaeth rhwng da a drwg? a ddichon dy was di archwaethu yr hyn a fwyttâf, neu 'r hyn a yfaf? a glywaf fi bellach lais cerddorion a cherddoresau? pa ham gan hynny y bydd dy was mwyach yn faich ar fy arglwydd frenhin?

36 Dy was a â ychydig tu hwnt i'r Iorddonen gyd â'r brenhin: a pha ham y talai 'r brenhin i mi gyfryw daledigaeth?

37 Gâd, attolwg, i'th was ddychwelyd yn fy ol, fel y byddwyf marw yn fy ninas fy hun, *ac fel y'm cladder* ym meddrod fy nhad a'm mam: ac wele, Chimham dy was, efe a â drosodd gyd â'm harglwydd frenhin, a gwna iddo yr hyn *fyddo* da yn dy olwg.

38 A dywedodd y brenhin, Chimham a â gyd â mi, a mi a wnaf iddo ef yr hyn *fyddo* da yn dy olwg di: a pheth bynnag a † erfyniech di arnaf fi, mi a'i gwnaf erot.

† Heb. *ddewisech gennyf.*

39 A'r holl bobl a aethant dros yr Iorddonen. Y brenhin hefyd a aeth drosodd: a'r brenhin a gusanodd Barzilai, ac a'i bendithiodd ef; ac efe a ddychwelodd i'w fangre ei hun.

40 Yna'r brenhin a aeth i Gilgal, a Chimham a aeth gyd ag ef. A holl bobl Judah a hebryngasant y brenhin, a hanner pobl Israel hefyd.

41 ¶ Ac wele, holl wŷr Israel a ddaethant at y brenhin, ac a ddywedasant wrth y brenhin, Pa ham y lladrattaodd ein brodyr ni, gwŷr Judah, dydi, ac y dygasant y brenhin a'i dylwyth dros yr Iorddonen, a holl wŷr Dafydd gyd ag ef?

42 Ac attebodd holl wŷr Judah i wŷr Israel, Oblegid câr agos *yw*'r brenhin i ni: pa ham gan hynny y digiasoch chwi am y peth hyn? a fwyttasom ni *ddim* ar *draul* y brenhin? neu a anrhegodd efe ni ag anrheg?

43 A gwŷr Israel a attebasant wŷr Judah, ac a ddywedasant, Deg rhan *sydd* i ni yn y brenhin; hefyd *y mae* i ni yn Dafydd fwy nag i chwi: pa ham gan hynny y diystyraist fi? onid myfi a ddywedais yn gyntaf am gyrchu adref fy mrenhin? Ac [s] ymadrodd gwŷr Judah oedd galettach nag ymadrodd gwŷr Israel.

s Edrych Barn. 8. 1. a 12. 1.

## PEN. XX.

Ebrill 24. B.

1 *Seba, o achos yr ymrafael, yn codi plaid yn Israel.* 3 *Deg gordderch-wraig Dafydd mewn carchar tragywyddol.* 4 *Gwneuthur Amasa yn bennaeth ar Judah; a Joab yn ei ladd ef.* 14 *Joab yn erlid Seba i Abel.* 16 *Gwraig ddoeth yn achub y ddinas, trwy dorri pen Seba.* 23 *Swyddogion Dafydd.*

Cylch 1022.

AC yno y digwyddodd bod gwr i'r fall, a'i enw Seba, mab Bichri, gwr o Jemini; ac efe a udganodd mewn udgorn, ac a ddywedodd, [a] Nid oes i ni ddim rhan yn Dafydd, nac etifeddiaeth i ni ym mab Jesse: pawb i'w babell, O Israel.

a 2 Bren. 12. 16. 2 Chron. 10. 16.

2 Felly holl wŷr Israel a aethant i fynu oddi ar ol Dafydd, ar ol Seba mab Bichri: ond gwŷr Judah a lynasant wrth eu brenhin, o'r Iorddonen hyd Jerusalem.

3 ¶ A daeth Dafydd i'w dŷ ei hun i Jerusalem; a'r brenhin a gymmerth [b] y deg gordderch-wraig a adawsai efe i gadw'r tŷ, ac a'u rhoddes hwynt *mewn* cadwraeth, ac a'u porthodd hwynt; ond nid aeth efe i mewn attynt hwy: eithr buant yn rhwym hyd ddydd eu marwolaeth, † yn byw mewn gweddwdod.

b Pen. 15. 16. a 16. 21, 22.
† Heb. *mewn gweddwdod bywyd.*

4 ¶ Yna y dywedodd y brenhin wrth Amasa, ‡ [c] Cynnull i mi wŷr Judah *erbyn* y trydydd dydd; a bydd dithau yma.

‡ Heb. *Galw attaf.*
c Pen. 19. 13.

5 Felly Amasa a aeth i gynnull Judah: ond efe a drigodd yn hwy nâ'r amser terfynedig a osodasai efe iddo.

6 A dywedodd Dafydd wrth Abisai, Seba mab Bichri a'n dryga ni yn waeth nag Absalom: cymmer di [d] weision dy arglwydd, ac erlid ar ei ol ef, rhag iddo gael y dinasoedd caerog, ac ymachub *o'n golwg* ni.

d Pen. 11. 11.

7 A gwŷr Joab, a'r [e] Cerethiaid, y Pelethiaid *hefyd*, a'r holl gedyrn, a aethant ar ei ol ef; ac a aethant allan o Jerusalem, i erlid ar ol Seba mab Bichri.

e Pen. 8. 18.

8 *Pan oeddynt* hwy wrth y maen mawr *sydd* yn Gibeon, Amasa a aeth o'u blaen hwynt. A Joab oedd wedi gwregysu ei gochl oedd am dano, ac arni *yr oedd* gwregys â chleddyf wedi ei rwymo ar ei lwynau ef yn ei wain; a phan gerddai efe, *y cleddyf* a syrthiai.

9 A dywedodd Joab wrth Amasa, *A wyt* ti yn llawen, fy mrawd? A llaw ddehau Joab a ymaflodd ym marf Amasa i'w gusanu ef.

10 Ond ni ddaliodd Amasa ar y cleddyf *oedd* yn llaw Joab: felly [f] efe a'i tarawodd ef ag ef [g] dan y bummed *ais*, ac a ollyngodd ei berfedd ef i'r llawr, ac nid aildarawodd ef; ac efe a fu farw. Felly Joab ac Abisai ei frawd a ganlynodd ar ol Seba mab Bichri.

f 1 Bren. 2. 5.
g Pen. 2. 23.

11 Ac un o weision Joab oedd yn sefyll yn ei ymyl ef, ac a ddywedodd, Pwy bynnag a ewyllysio *yn dda* i Joab, a phwy bynnag *sydd* gyd â Dafydd, *eled* ar ol Joab.

12 Ac Amasa oedd yn ymdrybaeddu mewn gwaed ynghanol y brif-ffordd. A phan welodd y gwr yr holl bobl yn sefyll, efe a symmudodd Amasa oddi ar y brif-ffordd i'r maes, ac a daflodd gadach arno, pan welodd efe bawb a'r oedd yn dyfod atto ef yn sefyll.

13 Pan symmudwyd ef oddi ar y brif-ffordd, yr holl wŷr a aethant ar ol Joab, i erlid ar ol Seba mab Bichri.

14 ¶ Ac efe a dramwyodd trwy holl lwythau Israel i Abel, ac i Beth-maachah, ac i holl *leoedd* Berim: a hwy a ymgasglasant, ac a aethant ar ei ol ef.

15 Felly y daethant hwy, ac a warchaeasant arno ef yn Abel Beth-maachah, ac a fwriasant glawdd yn erbyn y ddinas, *yr hon* a safodd ar y rhagfur: a'r holl bobl y rhai *oedd* gyd â Joab oedd yn § curo'r mur, i'w fwrw i lawr.

§ Heb. *difwyno.*

16 ¶ Yna gwraig ddoeth o'r ddinas a lefodd, Clywch, clywch: dywedwch, attolwg, wrth Joab, Nesâ hyd yma, fel yr ymddiddanwyf â thi.

17 Pan nesaodd efe atti hi, y wraig a ddywedodd, Ai ti *yw* Joab? Dywedodd yntau, *Ie* myfi. A hi a ddywedodd wrtho ef, Gwrando eiriau dy law-forwyn. Dywedodd yntau, Yr ydwyf yn gwrando.

‖ Heb. *yn y dechreuad.* Edrych Deut. 20. 11.

18 Yna hi a ddywedodd, Hwy a lefarent ‖ gynt, gan ddywedyd, Diau yr ymofynant ag Abel: ac felly y dibennent.

19 Myfi *wyf un* o heddychol ffyddloniaid
Israel: yr wyt ti yn ceisio difetha dinas a
mam yn Israel: pa ham y difethi di etifedd-
iaeth yr ARGLWYDD?
20 A Joab a attebodd ac a ddywedodd,
Na atto DUW, na atto DUW, i mi na
difetha na dinystrio.
21 Nid felly *y mae*'r peth: eithr gwr o
fynydd Ephraim (Seba mab Bichri *dan* ei
enw) a ddyrchafodd ei law yn erbyn y
brenhin, yn erbyn Dafydd. Rhoddwch ef
yn unig, a mi a af ymaith oddi wrth y
ddinas. A dywedodd y wraig wrth Joab,
Wele, ei ben ef a fwrir attat ti dros y mur.
h Preg. 9. 22 Yna'r wraig h o'i doethineb a aeth at
14. yr holl bobl. A hwy a dorrasant ben Seba
mab Bichri, ac a'i taflasant allan i Joab. Ac
efe a udganodd mewn udgorn; a hwy a
wasgarwyd oddi wrth y ddinas, bob un
i'w pabellau. A Joab a ddychwelodd i
Jerusalem at y brenhin.
i Pen. 8. 23 ¶ Yna i Joab *oedd* ar holl luoedd Is-
16. rael; a Benaiah mab Jehoiada ar y Cereth-
iaid, ac ar y Pelethiaid;
k Pen. 8. 24 Ac Adoram *oedd* ar y dreth; a k Je-
16. 1 Bren. 4. hosaphat mab Ahilud yn gofiadur;
3. 25 Sefa hefyd yn ysgrifenydd; a Sadoc
l Pen. 23. ac Abiathar yn offeiriaid;
38. 26 l Ira hefyd y Jairiad oedd † benllywydd
† Neu, *dywysog.* ynghylch Dafydd.

## PEN. XXI.

Sul 7 ar ol y Drindod, B. Ebrill 24. P.
1 *Y tair blynedd newyn, o achos y Gibeoniaid,*
*yn peidio, trwy grogi saith o feibion Saul.*
10 *Caredigrwydd Rispah tu ag at y marw.*
12 *Dafydd yn claddu esgyrn Saul a Jona-*
*than.* 15 *Pedair câd yn erbyn y Philisti-*
*aid; lle y lladdodd pedwar o gedyrn Da-*
*fydd bedwar o gawri.*

1021. A Bu newyn yn nyddiau Dafydd dair
† Heb. *geisiodd wyneb yr Arglwydd.* Edrych Num. 27. 21. blynedd ol ynol. A Dafydd a † ymo-
fynodd ger bron yr ARGLWYDD. A'r AR-
GLWYDD a ddywedodd, O herwydd Saul,
ac o herwydd *ei* dŷ gwaedlyd *ef, y mae hyn;*
oblegid lladd o hono ef y Gibeoniaid.
2 A'r brenhin a alwodd am y Gibeoniaid,
ac a ymddiddanodd â hwynt (a'r Gibeon-
iaid hynny nid *oeddynt* o feibion Israel, ond
a Jos. 9. 3, 16, 17. a o weddill yr Amoriaid; a meibion Israel a
dyngasai iddynt hwy: etto Saul a geisiodd
eu lladd hwynt, o'i serch i feibion Israel a
Judah)
3 A Dafydd a ddywedodd wrth y Gi-
beoniaid, Beth a wnaf i chwi? ac â pha
beth y gwnaf gymmod, fel y bendithioch
chwi etifeddiaeth yr ARGLWYDD?
4 A'r Gibeoniaid a ddywedasant wrtho,
Ni fynnwn ni nac arian nac aur gan Saul,
na chan ei dŷ ef; ac ni fynnwn ni ladd neb
yn Israel. Ac efe a ddywedodd, Yr hyn a
ddywedoch chwi, a wnaf i chwi.
5 A hwy a ddywedasant wrth y brenhin,
‡ Neu, *a'n torrodd ymaith.* Y gwr a'n difethodd ni, ac ‡ a fwriadodd
i'n herbyn ni, i'n dinystrio ni rhag aros yn
un o derfynau Israel,
6 Rhodder i ni saith o wŷr o'i feibion ef,
fel y crogom ni hwynt i'r ARGLWYDD yn
b 1 Sam. 10. 26. a 11. 4. b Gibeah Saul, dewisedig yr ARGLWYDD.
A dywedodd y brenhin, Myfi a'u rhoddaf.
7 Ond y brenhin a arbedodd Mephiboseth,
c 1 Sam. 18. 3. a 20. 8, 15, 42. a 23. 18. fab Jonathan, fab Saul, o herwydd c llw'r
ARGLWYDD yr hwn *oedd* rhyngddynt hwy,
rhwng Dafydd a Jonathan mab Saul.
8 Ond y brenhin a gymmerth ddau fab
Rispah merch Aiah, y rhai a ymddûg hi i
Saul, *sef* Armoni a Mephiboseth; a phum

mab § Michal merch Saul, y rhai a blant- § Neu, *chwaer Michal.*
odd hi i Adriel fab Barzilai y Maholathiad:
9 Ac efe a'u rhoddes hwynt yn llaw'r 1019.
Gibeoniaid; a hwy a'u crogasant hwy yn y
mynydd ger bron yr ARGLWYDD: a'r saith
hyn a gyd-gwympasant, ac a roddwyd i far-
wolaeth yn y dyddiau cyntaf o'r cynhauaf,
yn nechreuad cynhauaf yr haidd.
10 ¶ A d Rispah merch Aiah a gymmerth d Pen. 3. 7
sachliain, a hi a'i hestynodd ef iddi ar
y graig, o ddechreu'r cynhauaf nes di-
feru dwfr arnynt hwy o'r nefoedd, ac ni
adawodd hi i ehediaid y nefoedd orphwys
arnynt hwy y dydd, na bwystfil y maes liw
nos.
11 A mynegwyd i Ddafydd yr hyn a
wnaethai Rispah merch Aiah, gordderch-
wraig Saul.
12 ¶ A Dafydd a aeth ac a ddug esgyrn
Saul, ac esgyrn Jonathan ei fab, oddi wrth
berchenogion Jabes Gilead, y rhai a'u lla-
drattasent hwy o heol Bethsan, e yr hon y e 1 Sam. 31.
crogasai'r Philistiaid hwynt ynddi, y dydd 10.
y lladdodd y Philistiaid Saul yn Gilboa.
13 Ac efe a ddug i fynu oddi yno esgyrn
Saul, ac esgyrn Jonathan ei fab; a hwy a
gasglasant esgyrn y rhai a grogasid.
14 A hwy a gladdasant esgyrn Saul a
Jonathan ei fab yngwlâd Benjamin, yn
Sela, ym meddrod Cis ei dad: a hwy a
wnaethant yr hyn oll a orchymynasai'r
brenhin. A bu DUW foddlon i'r wlad ar
ol hyn.
15 ¶ A bu eilwaith ryfel rhwng y Phi- Cylch
listiaid ac Israel; a Dafydd a aeth i wared 1018.
a'i weision gyd ag ef, ac a ymladdasant â'r
Philistiaid. A diffygiodd Dafydd.
16 Ac Isbibenob, yr hwn *oedd* o feib-
ion || y cawr (a phwys † ei waywffon yn || Neu, *Raphah.*
dri chan *sicl* o bres) ac wedi ei wregysu
â *chleddyf* newydd, a feddyliodd ladd Da- † Heb. *paladr,* neu, *flaen ei waywffon.*
fydd.
17 Ond Abisai mab Serfiah a'i helpiodd
ef, ac a darawodd y Philistiad, ac a'i ladd-
odd ef. Yna f gwŷr Dafydd a dyngasant f Pen. 18. 3.
wrtho ef, gan ddywedyd, Nid ai di allan
mwyach gyd â ni i ryfel, rhag it' ddiffoddi
‡ g goleuni Israel. ‡ Heb. *canwyll,* neu, *lamp.*
18 h Ac ar ol hyn fe fu eilwaith ryfel yn
Gob yn erbyn y Philistiaid: yna i Sibbechai g 1 Bren. 11. 36. Psal. 132. 17.
yr Husiad a laddodd Saph, yr hwn *oedd* o
feibion § y cawr.
19 A bu etto ryfel yn Gob yn erbyn y h 1 Chron. 20. 4.
Philistiaid: ac Elhanan mab Jaare-oregim,
y Bethlehemiad, a darawodd k *frawd* Go- i 1 Chron. 11. 29.
liath y Gethiad; a phren ei waywffon ef
*oedd* fel carfan gwehydd. § Neu, *Raphah.*
20 A bu etto ryfel yn Gath: ac yr oedd
gwr corphol, a chwech o fysedd ar bob llaw k Edrych 1 Chron. 20. 5.
iddo, a chwech o fysedd ar bob troed iddo,
pedwar ar hugain o rifedi; efe hefyd *oedd*
fab || i'r cawr. || Neu, *i Raphah.*
21 Ac efe a † ammharchodd Israel; a † Neu, *ddifenwodd.*
Jonathan mab l Simea, brawd Dafydd, a'i
lladdodd ef. 1 Sam. 17. 10, 25, 26.
22 Y pedwar hyn a aned i'r cawr yn
Gath, ac a gwympasant trwy law Dafydd, l 1 Sam. 16. 9, *Sammah.*
a thrwy law ei weision ef.

## PEN. XXII.

*Psalm o ddiolchgarwch am alluog ymwared* Ebrill 26. B.
*Duw, a'i amryw fendithion.*

1018. A Dafydd a lefarodd wrth yr ARGLWYDD
eiriau'r gân hon, yn y dydd y gwared-
odd yr ARGLWYDD ef o law ei holl elynion,
ac o law Saul.

[a] Deut. 32. 4. Psal. 18. 2, &c.

2 Ac efe a ddywedodd, [a] Yr ARGLWYDD *yw* fy nghraig, a'm hymddiffynfa, a'm gwaredydd i;

[b] Heb. 2. 13.

3 Duw fy nghraig, [b] ynddo ef yr ymddiriedaf: fy nharian, a chorn fy iachawdwriaeth, fy uchelder a'm noddfa, fy achubwr; rhag trais y'm hachubaist.

4 Galwaf ar yr ARGLWYDD canmoladwy: felly y'm cedwir rhag fy ngelynion.

† Neu, *gloes*, neu, *tonnau*. ‡ Heb. *Belial*. § Neu, *Rhaffynnau*.

5 Canys † gofidion angau a'm cylchynasant; afonydd ‡ y fall a'm dychrynasant i.

6 § Doluriau uffern a'm hamgylchynasant; maglau angau a'm rhagflaenasant.

7 Yn fy nghyfyngdra y gelwais ar yr ARGLWYDD, ac y gwaeddais at fy NUW; ac efe a glybu fy llef o'i deml, a'm gwaedd *a aeth* i'w glustiau ef.

[c] Job 26. 11.

8 Yna y cynhyrfodd ac y crynodd y ddaear: [c] seiliau 'r nefoedd a gyffroisant ac a ymsiglasant, am iddo ef ddigio.

9 Dyrchafodd mŵg o'i ffroenau ef, a thân o'i enau ef a ysodd: glo a ennynasant ganddo ef.

10 Efe a ogwyddodd y nefoedd, ac a ddisgynodd; a thywyllwch *oedd* dan ei draed ef.

11 Marchogodd efe hefyd ar y cerub, ac a ehedodd: ïe efe a welwyd ar adenydd y gwynt.

12 Efe a osododd y tywyllwch yn bebyll o'i amgylch; *sef* casgliad y dyfroedd, *a* thew-gymmylau'r awyr.

13 Gan y disgleirdeb ger ei fron ef yr ennynodd y marwor tanllyd.

14 Yr ARGLWYDD a daranodd o'r nefoedd, a'r Goruchaf a roddes ei lef.

15 Ac efe a anfonodd *ei* saethau, ac a'u gwasgarodd hwynt; mellt, ac a'u drylliodd hwynt.

|| *ddatguddiwyd*.

16 Gwaelodion y môr a ymddangosodd, *a* seiliau 'r byd a || ddinoethwyd, gan gerydd yr ARGLWYDD, *a* chan chwythad anadl ei ffroenau ef.

† Neu, *mawrion*.

17 Efe a anfonodd oddi uchod; cymmerodd fi: tynnodd fi o ddyfroedd † lawer.

18 Gwaredodd fi rhag fy ngelyn cadarn, *a* rhag fy nghaseion; am eu bod yn drech nâ mi.

19 Achubasant fy mlaen yn nydd fy ngofid: ond yr ARGLWYDD oedd gynhaliad i mi.

20 Efe a'm dug i ehangder: efe a'm gwaredodd i, am iddo ymhoffi ynof.

21 Yr ARGLWYDD a'm gobrwyodd yn ol fy nghyfiawnder: yn ol glendid fy nwylaw y talodd efe i mi.

22 Canys mi a gedwais ffyrdd yr ARGLWYDD, ac ni chiliais yn annuwiol oddi wrth fy NUW.

23 O herwydd ei holl farnedigaethau ef *oedd* ger fy mron i: ac oddi wrth ei ddeddfau ni chiliais i.

‡ Heb. *iddo*.

24 Bûm hefyd berffaith ‡ ger ei fron ef; ac ymgedwais rhag fy anwiredd.

25 A'r ARGLWYDD a'm gobrwyodd innau yn ol fy nghyfiawnder; yn ol fy nglendid o flaen ei lygaid ef.

26 A'r trugarog y gwnai drugaredd; â'r gwr perffaith y gwnai berffeithrwydd.

[d] Lef. 26. 24, 27, 28. Psal. 18. 26.

27 A'r glân y gwnai lendid; ac [d] â'r cyndyn yr ymgyndynni.

28 Y bobl gystuddiedig a waredi: ond *y mae* dy lygaid ar y rhai uchel, i'*w* darostwng.

29 Canys ti *yw* fy nghanwyll i, O ARGLWYDD; a'r ARGLWYDD a lewyrcha fy nhywyllwch.

30 Oblegid ynot ti y § rhedaf trwy fyddin: trwy fy NUW y llammaf dros fur. § Neu, *torraf*.

31 [e] DUW *sydd* berffaith ei ffordd; [f] ymadrodd yr ARGLWYDD *sydd* buredig: tarian *yw* efe i bawb a ymddiriedant ynddo. [e] Deut. 32. 4. Dan. 4. 37. Dat. 15. 3.

32 Canys [g] pwy *sydd* DDUW, heb law 'r ARGLWYDD? a phwy *sydd* graig, eithr ein DUW ni? [f] Psal. 12. 6. a 119. 140. Diar. 30. 5.

33 DUW *yw* fy nghadernid *a'm* nerth; ac a rwyddhaodd fy ffordd i yn berffaith. [g] 1 Sam. 2. 2. Esay 45. 5, 6.

34 Efe sydd yn gwneuthur fy nhraed fel *traed* ewigod; ac efe sydd yn fy ngosod ar fy uchelfaoedd.

35 Efe sydd yn dysgu fy nwylaw i ryfel; fel y dryllir bwa dur *yn* fy mreichiau.

36 Rhoddaist hefyd i mi darian dy iachawdwriaeth; || ac â'th fwynder y lliosogaist fi. || Neu, *a'th fwynder a'm lliosogodd*.

37 Ehengaist fy ngherddediad danaf; fel na lithrodd fy sodlau.

38 Erlidiais fy ngelynion, a difethais hwynt; ac ni ddychwelais nes eu difa hwynt.

39 Difeais hwynt hefyd, a thrywenais hwynt, fel na chyfodent; a hwy a syrthiasant dan fy nhraed i.

40 Canys ti a'm gwregysaist i â nerth i ryfel: y rhai a ymgyfodent i'm herbyn, a ddarostyngaist danaf.

41 Rhoddaist hefyd i mi warrau fy ngelynion; fel y difethwn fy nghaseion.

42 Disgwyliasant, ond nid *oedd* achubydd; *sef* am yr ARGLWYDD, ond nid atebodd hwynt.

43 Yna y maluriais hwynt fel llwch y ddaear; mal y sethrais hwynt fel tom yr heolydd, *a* thaenais hwynt.

44 Gwaredaist fi rhag cynhennau fy mhobl; cedwaist fi yn ben *ar* genhedloedd: pobl nid adnabûm a'm gwasanaethant.

45 Meibion dieithr a gymmerant arnynt † ymddarostwng i mi: pan glywant, gwrandawant arnaf fi. † Edrych Deut. 33. 29.

46 Meibion dieithr a ballant, ac a ddychrynant o'u carchardai.

47 Byw fyddo'r ARGLWYDD, a bendigedig *fyddo* fy nghraig; a dyrchafer DUW, craig fy iachawdwriaeth.

48 DUW sydd yn ‡ fy nïal i, ac sydd yn darostwng pobloedd danaf fi, ‡ Heb. *rhoddi dial trosof*.

49 Ac sydd yn fy nhywys i o blith fy ngelynion: ti hefyd a'm dyrchefaist uwch law 'r rhai a gyfodent i'm herbyn; rhag y gwr traws y'm hachubaist i.

50 Am hynny y moliannaf di, O ARGLWYDD, ym mhlith y [h] cenhedloedd, ac y canaf i'th enw. [h] Rhuf. 15. 9.

51 *Efe sydd* dŵr iachawdwriaeth i'w frenhin; ac yn gwneuthur trugaredd i'w enneiniog, i Ddafydd, ac [i] i'w had yn dragywydd. [i] Pen. 7. 12.

## PEN. XXIII.

1 *Dafydd yn ei eiriau diweddaf yn dangos fod ei ffydd ef yn addewidion Duw tu hwnt i bob deall dynol.* 6 *Anghyffelyb gyflwr yr annuwiol.* 8 *Enwau cedyrn Dafydd.* Ebrill 26. P.

DYMA eiriau diweddaf Dafydd. Dywedodd Dafydd mab Jesse, † a dywedodd y gwr a osodwyd yn uchel, enneiniog DUW Jacob, a pheraidd ganiadydd Israel; 1018. † Psal. 89. 27.

2 Yspryd yr ARGLWYDD a lefarodd ynof fi, a'i ymadrodd ef *oedd* ar fy nhafod.

3 DUW Israel a ddywedodd wrthyf fi, [a] Craig Israel a ddywedodd, ‡ *Bydded* llywodraethwr ar ddynion yn gyfiawn, yn llywodraethu *mewn* ofn DUW: [a] Deut. 32. 4. Pen. 22. 2, 32. ‡ Neu, *Bydd*.

b Barn. 5. 31. Psal. 89. 36. Diar. 4. 18. Hos. 6. 5.
4 Ac b *efe a fydd* fel y bore-oleuni, pan
gyfodo haul foregwaith heb gymmylau:
*fel eginyn a dyf* o'r ddaear, gan lewyrchiad
yn ol gwlaw.
5 Er nad *yw* fy nhŷ i felly gyd â Duw;
c Pen. 7. 15, 16.
etto c cyfammod tragywyddol a wnaeth
efe â mi, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn
sicr; canys fy holl iachawdwriaeth, a'*m* holl
ddymuniad *yw*, er nad yw yn peri *iddo*
flaguro.
6 ¶ A'r anwir *fyddant* oll fel drain wedi
eu bwrw heibio: canys mewn llaw ni's
cymmerir hwynt.
† Heb. *gyflawnir.*
7 Ond y gwr a gyffyrddo â hwynt a † ddi-
ffynnir â haiarn, ac â phaladr gwaywffon;
ac â thân y llosgir hwynt yn *eu* lle.
8 ¶ Dyma enwau'r cedyrn oedd gan
‡ *Joseb-bassabet y Tachmoniad, pen y tri.*
Ddafydd. ‡ Y Tachmoniad a eisteddai yn y
gadair, yn bennaeth y tywysogion (hwnnw
*oedd* Adino yr Esniad) § *efe a ruthrodd* yn
erbyn wyth cant, y rhai a laddodd efe ar
§ Edrych 1 Chron. 11. 11. a 27. 2.
unwaith.
9 Ac ar ei ol ef *yr oedd* d Eleazar mab
d 1 Chron. 11. 12. a 27. 4.
Dodo, fab Ahohi, *ym mhlith* y tri cedyrn,
gyd â Dafydd, pan ddifenwasant hwy'r
Philistiaid a ymgynnullasent yno i ryfel, a
phan aeth gwŷr Israel ymaith.
10 Efe a gyfododd, ac a darawodd ar y
Philistiaid, nes diffygio ei law ef, a glynu
o'i law ef wrth y cleddyf: a'r ARGLWYDD
a wnaeth iachawdwriaeth mawr y diwrnod
hwnnw; a'r bobl a ddychwelasant ar ei ol
ef yn unig i anrheithio.
e 1 Chron. 11. 27.
11 Ac ar ei ol ef *yr oedd* e Sammah mab
Age yr Harariad. A'r Philistiaid a ymgyn-
‖ Neu, *i ysglyfaethu.*
nullasant ‖ yn dorf; ac yr oedd yno ran o'r
maes yn llawn o ffacbys: a'r bobl a ffodd o
flaen y Philistiaid.
12 Ond efe a safodd ynghanol y rhandir,
ac a'u hachubodd, ac a laddodd y Philisti-
aid. Felly y gwnaeth yr ARGLWYDD ym-
wared mawr.
† Neu, *A'r tri pennaeth ar.*
13 † A f thri o'r deg pennaeth ar hugain
a ddisgynasant, ac a ddaethant y cynhauaf
at Ddafydd i g ogof Adulam: a thorf y
f 1 Chron. 11. 15.
Philistiaid oedd yn gwersyllu yn h nyffryn
Rephaim.
g 1 Sam. 22. 1.
14 A Dafydd *oedd* yna mewn ymddiffyn-
fa; a sefyllfa'r Philistiaid *ydoedd* yna yn
h Pen. 5. 18.
Bethlehem.
15 A blysiodd Dafydd, a dywedodd, Pwy
a'm dïoda i â dwfr o bydew Bethlehem, yr
hwn *sydd* wrth y porth?
16 A'r tri chedyrn a ruthrasant trwy wer-
syll y Philistiaid, ac a dynnasant ddwfr o
bydew Bethlehem, yr hwn *oedd* wrth y
porth, ac a'i cymmerasant hefyd, ac a'*i*
dygasant at Ddafydd: ond ni fynnai efe
ei yfed, eithr efe a'i dïod-offrymmodd ef
i'r ARGLWYDD;
17 Ac a ddywedodd, Na atto'r AR-
GLWYDD i mi wneuthur hyn: *onid* gwaed y
gwŷr a aethant mewn *enbydrwydd* am eu
heinioes *yw* hwn? Am hynny ni fynnai efe ei
yfed. Hyn a wnaeth y tri chedyrn hynny.
i 1 Chron. 11. 20.
18 Ac i Abisai brawd Joab, mab Serfiah,
*oedd* bennaf o'r tri. Ac efe a gyfododd ei
‡ Heb. *o laddedigwn.*
waywffon yn erbyn tri chant, ‡ *ac a'u*
lladdodd *hwynt*: ac iddo ef *yr oedd* yr
enw ym mhlith y tri.
19 Onid anrhydeddusaf *oedd efe* o'r tri?
a bu iddynt yn dywysog: etto ni chyr-
haeddodd efe y tri *cyntaf*.
§ Heb. *lew Duw o Moab.*
20 A Benaiah mab Jehoiada, mab gwr
grymmus o Cabseel, aml ei weithredoedd,
efe a laddodd ddau § o gedyrn Moab; ac
efe a aeth i wared, ac a laddodd lew mewn
pydew yn amser eira.
21 Ac efe a darawodd Aipht-ddyn, gwr
k golygus *o faint*: ac yn llaw yr Aiphtiad k 1 Chron. 21. 23.
*yr oedd* gwaywffon; eithr efe a ddaeth i
wared atto ef â ffon, ac a ddug y wayw-
ffon o law'r Aiphtiad, ac a'i lladdodd ef â'i
waywffon ei hun.
22 Hyn a wnaeth Benaiah mab Jehoiada:
ac iddo *yr oedd* yr enw ym mhlith y tri
chedyrn.
23 ‖ Anrhydeddusach *oedd* nâ'r deg ar ‖ Neu, *Anrhydeddus oedd ym mysg y 30.*
hugain; ond ni chyrhaeddodd efe y tri
*cyntaf*: a Dafydd a'i gosododd ef ar † ei
wŷr o gard.
24 l Asahel brawd Joab *oedd* un o'r deg ar † Neu, *ei gyngor.* Heb. *ei orchymyn.*
hugain; Elhanan mab Dodo y Bethlehemiad,
25 Sammah'r Harodiad, Elica yr Harod-
iad, l Pen. 2. 18.
26 Heles y m Paltiad, Ira mab Icces y
Tecoiad, m 1 Chron. 11. 27.
27 Abïezer yr Anathothiad, Mebunnai yr
Husathiad,
28 Salmon yr Ahohiad, Maharai y Neto-
phathiad,
29 Heleb mab Baanah y Netophathiad,
Ittai mab Ribai o Gibeah meibion Benja-
min,
30 Benaiah y Pirathoniad, Hidai o ‡ afon- ‡ Neu, *ddyffrynnoedd.*
ydd Gaas,
31 Abi-albon yr Arbathiad, Azmafeth y
Barhumiad,
32 Eliahba y Saalboniad; o feibion Jasen,
Jonathan,
33 Sammah yr Harariad, Ahïam mab
Sarar yr Harariad,
34 Eliphelet mab Ahasbai, mab y Maa-
chathiad, Elïam mab Ahitophel y Gilon-
iad,
35 Hesrai y Carmeliad, Paarai yr Ar-
biad,
36 Igal mab Nathan o Sobah, Bani y Gad-
iad,
37 Selec yr Ammoniad, Naharai y Beeroth-
iad yn dwyn arfau Joab mab Serfiah,
38 n Ira yr Ithriad, Gareb yr Ithriad, n Pen. 20. 26.
39 Urïas yr Hethiad: dau ar bymtheg ar
hugain o gwbl.

## PEN. XXIV.

1 *Satan yn temtio Dafydd, ac yntau yn gyrru* Sul 7 ar ol y Drindod, P. Ebrill 27. B.
*Joab i rifo'r bobl.* 5 *Y capteniaid, ym mhen*
*y naw mis a'r ugain niwrnod, yn dwyn*
*cyfrif o dri chan mil ar ddeg o ryfelwŷr.*
10 *Dafydd yn cael ei ddewis o dair pla; ac*
*yn dewis tridiau o'r nodau:* 15 *ac wedi*
*lladd deng mil a thrugain o'r bobl, yn edi-*
*farhâu, ac wrth hynny yn achub dinystr*
*Jerusalem.* 18 *Dafydd, trwy gyngor Gad,*
*yn prynu llawr-dyrnu Arafnah, a'r bla yn*
*peidio, wedi iddo ef aberthu.*

A Thrachefn digllonedd yr ARGLWYDD a 1017.
ennynodd yn erbyn Israel; † ac efe a † *a Satan.* Edrych 1 Chron. 21. 1.
annogodd Ddafydd yn eu herbyn hwynt, i
ddywedyd, a Dos, cyfrif Israel a Judah.
2 Canys y brenhin a ddywedodd wrth a Edrych 1 Chron. 27. 23, 24.
Joab tywysog y llu *oedd* ganddo ef, ‡ Dos
yn awr trwy holl lwythau Israel, b o Ddan ‡ Neu, *Cylchyna.*
hyd Beerseba, a chyfrif y bobl, fel y gwyp-
wyf rifedi'r bobl. b Barn. 20. 1.
3 A Joab a ddywedodd wrth y brenhin,
Yr ARGLWYDD dy DDUW a chwanego'r
bobl yn gan cymmaint ag y maent, fel y
gwelo llygaid fy arglwydd frenhin: ond
pa ham yr ewyllysia fy arglwydd frenhin
y peth hyn?

4 A gair y brenhin fu drech nâ Joab, ac
nâ thywysogion y llu. Joab am hynny a
aeth allan, a thywysogion y llu, o ŵydd y
brenhin, i gyfrif pobl Israel.
5 ¶ A hwy a aethant dros yr Iorddonen,
ac a wersyllasant yn Aröer, o'r tu dehau
i'r ddinas *sydd* ynghanol † dyffryn Gad, a
thu a Jazer.

† Neu, *afon.*

6 Yna y daethant i Gilead, ac ‡ i wlad
Tahtim-hodsi; daethant *hefyd* i Ddan-jaan,
ac o amgylch i Sidon;

‡ Neu, *i'r isel-wlad newydd gyfanneddu.*

7 Daethant *hefyd* i ymddiffynfa Tyrus,
ac i holl ddinasoedd yr Hefiaid, a'r Canaan-
eaid; a hwy a aethant i du dehau Judah, i
Beerseba.
8 Felly y cylchynasant yr holl wlad, ac
a ddaethant ym mhen naw mis ac ugain
niwrnod i Jerusalem.
9 A rhoddes Joab nifer cyfrif y bobl at y
brenhin: ac Israel ydoedd wyth gan mil o
wŷr grymmus yn tynnu cleddyf; a gwŷr
Judah *oedd* bùm can mil o wŷr.
10 ¶ A [c] chalon Dafydd a'i tarawodd ef,
ar ol iddo gyfrif y bobl. A dywedodd Da-
fydd wrth yr ARGLWYDD, Pechais yn
ddirfawr *yn* yr hyn a wneuthum: ac yn awr
dilea, attolwg, O ARGLWYDD, anwiredd dy
was; canys ynfyd iawn y gwneuthum.

[c] 1 Sam. 24. 5.

11 A phan gyfododd Dafydd y bore, daeth
gair yr ARGLWYDD at [d] Gad y prophwyd,
[e] gweledydd Dafydd, gan ddywedyd,
12 Dos a dywed wrth Ddafydd, Fel hyn
y dywedodd yr ARGLWYDD; Yr ydwyf fi
yn gosod tri *pheth* o'th flaen di; dewis it' un
o honynt, a gwnaf *hynny* i ti.

[d] 1 Sam. 22. 5.
[e] 1 Sam. 9. 9. 1 Chron. 29. 29.

13 Felly Gad a ddaeth at Ddafydd, ac a
fynegodd iddo, ac a ddywedodd wrtho, A
*fynni* ddyfod it' [f] saith mlynedd o newyn yn
dy wlad? neu ffoi dri mis o flaen dy elynion,
a hwy yn dy erlid? ai ynte bod haint yn y
wlad dri diwrnod? Yn awr ymgynghora,
ac edrych pa beth a attebaf i'r hwn a'm
hanfonodd i.

[f] Edrych 1 Chron. 21. 12.

14 A dywedodd Dafydd wrth Gad, Y
mae yn gyfyng iawn arnaf fi: bid i mi
syrthio yn awr yn llaw'r ARGLWYDD (canys
aml *yw* ei drugareddau ef) ac [g] na chwymp-
wyf yn llaw dyn.
15 Yna y rhoddes [h] yr ARGLWYDD
haint yn Israel, o'r bore hyd yr amser no-
dedig: a bu farw o'r bobl, o Ddan hyd
Beerseba, ddeng mil a thrugain o wŷr.

[g] Edrych Esay 47. 6. Zec. 1. 15.
[h] 1 Chron. 27. 24.

16 A phan estynasai'r angel ei law at
Jerusalem i'w dinystrio hi, [i] edifarhaodd ar
yr ARGLWYDD y drwg hwn, ac a ddy-
wedodd wrth yr angel oedd yn dinystrio'r
bobl, Digon bellach: attal dy law. Ac
angel yr ARGLWYDD *oedd* wrth lawr-dyrnu
[k] Arafnah y Jebusiad.

[i] Gen. 6. 6. 1 Sam. 15. 11.
[k] 1 Chron. 21. 15, *Ornan.* Edrych adn. 18.

17 A llefarodd Dafydd wrth yr AR-
GLWYDD, pan ganfu efe'r angel a darawsai'r
bobl, a dywedodd, Wele, myfi a bechais, ac
a wneuthum yn ddrygionus: ond y defaid
hyn, beth a wnaethant hwy? bydded, at-
tolwg, dy law arnaf fi, ac ar dŷ fy nhad.
18 ¶ A Gad a ddaeth at Ddafydd y
dwthwn hwnnw, ac a ddywedodd wrtho,
Dos i fynu, cyfod allor i'r ARGLWYDD yn
llawr-dyrnu § Arafnah y Jebusiad.

§ Heb. *Araniah.*

19 A Dafydd a aeth i fynu, yn ol gair Gad,
fel y gorchymynasai'r ARGLWYDD.
20 Ac Arafnah a edrychodd, ac a ganfu'r
brenhin a'i weision yn dyfod tu ag atto.
Ac Arafnah a aeth allan, ac a ostyngodd ei
wyneb i lawr ger bron y brenhin.
21 Ac Arafnah a ddywedodd, Pa ham y
daeth fy arglwydd frenhin at ei was? [l] A dy-
wedodd Dafydd, I brynu gennyt ti y llawr-
dyrnu, i adeiladu allor i'r ARGLWYDD, fel
yr attalier y bla oddi wrth y bobl.

[l] Edrych Gen. 23. 8—16.

22 A dywedodd Arafnah wrth Ddafydd,
Cymmered, ac offrymmed fy arglwydd
frenhin yr hyn *fyddo* da yn ei olwg: wele'r
[m] ychen yn boeth-offrwm, a'r ffustiau ac
offer yr ychen yn lle cynnud.

[m] 1 Bren. 19. 21.

23 Hyn oll a roddodd Arafnah, *megis*
brenhin, i'r brenhin. A dywedodd Arafnah
wrth y brenhin, Yr ARGLWYDD dy DDUW
a fyddo boddlon i ti.
24 A dywedodd y brenhin wrth Arafnah,
Nag ê; eithr gan brynu y prynaf *ef* mewn
pris gennyt: ac nid offrymmaf i'r AR-
GLWYDD fy NUW boeth-offrymmau rhad.
Felly [n] Dafydd a brynodd y llawr-dyrnu a'r
ychen, er deg a deugain o siclau arian.

[n] Edrych 1 Chron. 21. 25.

25 Ac yno'r adeiladodd Dafydd allor i'r
ARGLWYDD, ac a offrymmodd boeth-offry-
mmau ac offrymmau hedd. A'r ARGLWYDD
a gymmododd â'r wlad, a'r bla a attaliwyd
oddi wrth Israel.

---

# ¶ Llyfr cyntaf y BRENHINOEDD; yr hwn a elwir hefyd, Trydydd Llyfr y BRENHINOEDD.

## PEN. I.

Ebrill 27. P.

1 *Abisag yn ymgeleddu Dafydd.* 5 *Adoniah, anwylyd Dafydd, yn ei wneuthur ei hun yn frenhin.* 11 *Nathan yn cynghori* 15 *i Bathseba ddywedyd i'r brenhin,* 22 *ac yn dywedyd gyd â hi.* 28 *Dafydd yn adnewyddu ei lw i Bathseba.* 32 *Sadoc a Nathan, trwy archiad Dafydd, yn enneinio Salomon yn frenhin; a'r bobl yn gorfoleddu.* 41 *Jonathan yn adrodd hynny, a gwahoddwŷr Adoniah yn ffoi.* 50 *Adoniah yn cymmeryd noddfa wrth gyrn yr allor; a than ammod, yn cael ei ollwng yn rhŷdd.*

Cyn Crist 1015.

A'R brenhin Dafydd *oedd* hen, *ac* a aethai
mewn † oedran; er iddynt ei anhuddo
ef mewn dillad, etto ni chynhesai efe.
2 Am hynny ei weision a ddywedasant
wrtho, ‡ Ceisier i'm harglwydd frenhin
langces o forwyn; a safed hi o flaen y bren-
hin, a bydded yn gwneuthur ymgeledd iddo,
a gorwedded yn dy fynwes, fel y gwresogo
fy arglwydd frenhin.

† Heb. *dyddiau.*
‡ Heb. *Ceisiant.*

3 A hwy a geisiasant langces dêg trwy
holl fro Israel; ac a gawsant Abisag y Suna-
mees, ac a'i dygasant hi at y brenhin.
4 A'r llangces *oedd* dêg iawn, ac oedd yn
ymgeleddu'r brenhin, ac yn ei wasanaethu
ef: ond ni bu i'r brenhin a wnaeth â hi.
5 ¶ Ac [a] Adoniah mab Haggith a ym-
ddyrchafodd, gan ddywedyd, Myfi a § fydd-
af frenhin: ac [b] efe a ddarparodd iddo ger-
bydau a gwŷr meirch, a dengwr a deugain
i redeg o'i flaen.
6 A'i dad nid anfoddlonasai ef ‖ yn ei
ddyddiau, gan ddywedyd, Pa ham y gwnae-
thost fel hyn? yntau hefyd *oedd* dêg iawn o
bryd; ac [c] efe a anesid wedi Absalom.
7 † Ac o'i gyfrinach y gwnaeth efe Joab
fab Serfiah, ac Abiathar yr offeiriad: a [d] hwy
a gynhorthwyasant ar ol Adoniah.

[a] 2 Sam. 3. 4.
§ Heb. *deyrnasaf.*
[b] 2 Sam. 15. 1.
‖ Heb. *er.*
[c] 2 Sam. 3. 3, 4. 1 Chron. 3. 2.
† Heb. *A'i eiriau ef oedd gyd â Joab.*
[d] Pen. 2. 22, 28.

8 Ond Sadoc yr offeiriad, a Benaiah mab Jehoiada, a Nathan y prophwyd, a [e] Simei, a Rei, a'r [f] gwŷr cedyrn *a fuasai* gyd â Dafydd, nid *oeddynt* gyd ag Adonïah.

e Pen. 4. 18.
f 2 Sam. 23. 8.

9 Ac Adonïah a laddodd ddefaid, a gwartheg, a phasgedigion, wrth faen Zoheleth, yr hwn *sydd* wrth † En-rogel, ac a wahoddodd ei holl frodyr meibion y brenhin, a holl wŷr Judah gweision y brenhin.

† Neu, *ffynnon Rogel*, 2 Sam. 17. 17.

10 Ond Nathan y prophwyd, a Benaiah, a'r gwŷr cedyrn, a Salomon ei frawd, ni wahoddodd efe.

11 ¶ Am hynny y dywedodd Nathan wrth Bathseba mam Salomon, gan ddywedyd, Oni chlywaist ti fod Adonïah mab [g] Haggith yn teyrnasu, a'n harglwydd Dafydd heb wybod *hynny?*

g 2 Sam. 3. 4.

12 Tyred gan hynny yn awr, attolwg, rhoddaf it' gyngor, fel yr achubech dy einioes dy hun, ac einioes Salomon dy fab.

13 Dos, a cherdda i mewn at y brenhin Dafydd, a dywed wrtho, Oni thyngaist ti, fy arglwydd frenhin, wrth dy wasanaethwraig, gan ddywedyd, [h] Salomon dy fab di a deyrnasa yn ddïau ar fy ol i, ac efe a eistedd ar fy ngorsedd-faingc i? pa ham gan hynny y mae Adonïah yn teyrnasu?

h 1 Chron. 22. 9.

14 Wele, tra fyddech yno etto yn llefaru wrth y brenhin, minnau a ddeuaf i mewn ar dy ol di, ac a ‡ sicrhâf dy eiriau di.

‡ Heb. *gyflawnaf*.

15 ¶ A Bathseba a aeth i mewn at y brenhin, i'r ystafell. A'r brenhin oedd hen iawn; ac Abisag y Sunamees oedd yn gwasanaethu'r brenhin.

16 A Bathseba a ostyngodd ei phen, ac a ymgrymmodd i'r brenhin. A'r brenhin a ddywedodd, Beth *a fynni* di?

17 Hithau a ddywedodd wrtho, Fy arglwydd, ti a dyngaist i'r ARGLWYDD dy DDUW wrth dy wasanaethyddes, *gan ddywedyd*, Salomon dy fab a deyrnasa yn ddïau ar fy ol i, ac efe a eistedd ar fy ngorsedd-faingc i:

18 Ac yn awr, wele, Adonïah sydd frenhin; ac yr awr hon, fy arglwydd frenhin, ni's gwyddost ti *hyn*.

19 Ac efe a laddodd wartheg, ac *anifeiliaid* breision, a defaid lawer iawn, ac a wahoddodd holl feibion y brenhin, ac Abïathar yr offeiriad, a Joab tywysog y filwriaeth: ond dy was Salomon ni wahoddodd efe.

20 Tithau, fy arglwydd frenhin, *y mae* llygaid holl Israel arnat ti, am fynegi iddynt pwy a eistedd ar orsedd-faingc fy arglwydd y brenhin ar ei ol ef.

21 Os amgen, pan orweddo fy arglwydd frenhin gyd â'i dadau, yna y cyfrifir fi a'm mab Salomon yn bechaduriaid.

22 ¶ Ac wele, tra 'r oedd hi etto yn ymddiddan â'r brenhin, y daeth Nathan y prophwyd hefyd i mewn.

23 A hwy a fynegasant i'r brenhin, gan ddywedyd, Wele, Nathan y prophwyd. Ac efe a aeth i mewn o flaen y brenhin, ac a ymgrymmodd i'r brenhin â'i wyneb hyd lawr.

24 A dywedodd Nathan, Fy arglwydd frenhin, a ddywedaist ti, Adonïah a deyrnasa ar fy ol i, ac efe a eistedd ar fy ngorsedd-faingc?

25 Canys efe a aeth i wared heddyw, ac a laddodd ychen, ac *anifeiliaid* breision, a defaid lawer, ac a wahoddodd holl feibion y brenhin, a thywysogion y filwriaeth, ac Abïathar yr offeiriad; ac wele hwynt yn bwytta ac yn yfed o'i flaen ef, ac y maent yn dywedyd, [i] Bydded fyw y brenhin Adonïah.

i 1 Sam. 10. 24.

26 Ond myfi dy was, a Sadoc yr offeiriad, a Benaiah mab Jehoiada, a'th was Salomon, ni wahoddodd efe.

27 Ai trwy fy arglwydd frenhin y bu 'r peth hyn, heb ddangos o honot i'th was, pwy a eisteddai ar orsedd-faingc fy arglwydd y brenhin ar ei ol ef?

28 ¶ A'r brenhin Dafydd a attebodd ac a ddywedodd, Gelwch Bathseba attaf fi. A hi a ddaeth o flaen y brenhin, ac a safodd ger bron y brenhin.

29 A'r brenhin a dyngodd, ac a ddywedodd, *Fel y* mae 'r ARGLWYDD yn fyw, yr hwn a waredodd fy enaid i allan o bob cyfyngder,

30 Yn ddïau megis y tyngais wrthyt ti i ARGLWYDD DDUW Israel, gan ddywedyd, Salomon dy fab a deyrnasa yn ddïau ar fy ol i, ac efe a eistedd ar fy ngorsedd-faingc i yn fy lle i; felly y gwnaf y dydd hwn.

31 Yna Bathseba a ostyngodd ei phen â'i hwyneb i lawr, ac a ymgrymmodd i'r brenhin, ac a ddywedodd, [k] Bydded fy arglwydd frenhin Dafydd fyw byth.

k Dan. 2. 4.

32 ¶ A'r brenhin Dafydd a ddywedodd, Gelwch attaf fi Sadoc yr offeiriad, a Nathan y prophwyd, a Benaiah fab Jehoiada. A hwy a ddaethant o flaen y brenhin.

33 A'r brenhin a ddywedodd wrthynt, Cymmerwch weision eich arglwydd gyd â chwi, a pherwch i Salomon fy mab farchogaeth ar [l] fy mules fy hun, a dygwch ef i wared i Gihon.

l Edrych Est. 6. 8.

34 Ac enneinied Sadoc yr offeiriad a Nathan y prophwyd ef yno yn frenhin ar Israel: ac udgenwch mewn udgorn, a dywedwch, Bydded fyw y brenhin Salomon.

35 Deuwch chwithau i fynu ar ei ol ef, a deued efe i fynu, ac eistedded ar fy ngorseddfa i; ac efe a deyrnasa yn fy lle i: canys ef a ordeiniais i fod yn flaenor ar Israel ac ar Judah.

36 A Benaiah mab Jehoiada a attebodd y brenhin, ac a ddywedodd, Amen: yr un modd y dywedo ARGLWYDD DDUW fy arglwydd frenhin.

37 Megis y bu 'r ARGLWYDD gyd â'm harglwydd y brenhin, felly bydded gyd â Salomon, a gwnaed yn fwy ei orsedd-faingc ef nâ gorsedd-faingc fy arglwydd y brenhin Dafydd.

38 Felly Sadoc yr offeiriad, a Nathan y prophwyd, a Benaiah mab Jehoiada, a'r Cerethiaid, a'r Pelethiaid, a aethant i wared, ac a wnaethant i Salomon farchogaeth ar fules y brenhin Dafydd, ac a aethant ag ef i Gihon.

39 A Sadoc yr offeiriad a gymmerodd gorn o [m] olew allan o'r babell, ac a enneiniodd Salomon. A hwy a udganasant mewn udgorn: [n] a'r holl bobl a ddywedasant, Bydded fyw y brenhin Salomon.

m Exod. 30. 23, 25, 32.
n 1 Sam. 10. 24.

40 A'r holl bobl a aethant i fynu ar ei ol ef, yn canu pibellau, ac yn llawenychu â llawenydd mawr, fel y rhwygai'r ddaear gan eu swn hwynt.

41 ¶ A chlybu Adonïah, a'i holl wahoddedigion y rhai *oedd* gyd ag ef, pan ddarfuasai iddynt fwytta. Joab hefyd a glywodd lais yr udgorn; ac a ddywedodd, Pa ham *y mae* twrf y ddinas yn derfysgol?

42 Ac efe etto yn llefaru, wele, daeth Jonathan mab Abïathar yr offeiriad. A dywedodd Adonïah, Tyred i mewn: canys [o] gwr grymmus *ydwyt* ti, a daioni a fynegi di.

o 2 Sam. 18. 27.

43 A Jonathan a attebodd ac a ddywed-
odd wrth Adonïah, Yn ddïau ein har-
glwydd frenhin Dafydd a osododd Salo-
mon yn frenhin.
44 A'r brenhin a anfonodd gyd ag ef Sa-
doc yr offeiriad, a Nathan y prophwyd, a
Benaiah fab Jehoiada, a'r Cerethiaid, a'r
Pelethiaid; a hwy a barasant iddo ef farch-
ogaeth ar fules y brenhin.
45 A Sadoc yr offeiriad a Nathan y pro-
phwyd a'i heneiniasant ef yn frenhin yn
Gihon: a hwy a ddaethant i fynu oddi yno
yn llawen; a'r ddinas a derfysgodd. Dyna 'r
twrf a glywsoch chwi.
46 Ac y mae Salomon yn eistedd ar or-
sedd-faingc y frenhiniaeth.
47 A gweision y brenhin a ddaethant
hefyd i fendithio ein harglwydd frenhin
Dafydd, gan ddywedyd, Dy Dduw a wnelo
enw Salomon yn well nâ'th enw di, ac a
wnelo yn fwy ei orsedd-faingc ef nâ'th or-
sedd-faingc di. A'r brenhin a ymgrymmodd
ar y gwely.
48 Fel hyn hefyd y dywedodd y brenhin;
Bendigedig *fyddo* Arglwydd Dduw Is-
rael, yr hwn a roddodd heddyw *un* i eistedd
ar fy ngorsedd-faingc, a'm llygaid innau yn
gweled *hynny*.
49 A'r holl wahoddedigion, y rhai *oedd*
gyd ag Adonïah, a ddychrynasant, ac a gyf-
odasant, ac a aethant bob un ei ffordd.
50 ¶ Ac Adonïah oedd yn ofni rhag Sa-
p Pen. 2. 28. lomon; ac a gyfododd, ac a aeth ac p a
ymaflodd ynghyrn yr allor.
51 A mynegwyd i Salomon, gan ddy-
wedyd, Wele, y mae Adonïah yn ofni 'r bren-
hin Salomon: canys wele, efe a ymaflodd
ynghŷrn yr allor, gan ddywedyd, Tynged y
brenhin Salomon i mi heddyw, na ladd efe
ei was a'r cleddyf.
52 A dywedodd Salomon, Os bydd efe
q 1 Sam. 14. 45. 2 Sam. 14. 11. Act. 27. 34. yn wr-da, q ni syrth *un* o'i wallt ef i lawr; ond
os ceir drygioni ynddo ef, efe a fydd marw.
53 A'r brenhin Salomon, a anfonodd, a
hwy a'i dygasant ef oddi wrth yr allor. Ac
efe a ddaeth, ac a ymgrymmodd i'r bren-
hin Salomon. A dywedodd Salomon wrtho,
Dos i'th dŷ.

## PEN. II.

1 Chron. 28. 8. *1 Dafydd yn rhoi cyngor i Salomon, 3 i fod yn*
*dduwiol, 5 ynghylch Joab, 7 Barzilai, 8 a*
*Simei; 10 ac yn marw. 12 Salomon yn*
*frenhin ar ei ol ef. 13 Adonïah yn ceisio*
*gan Bathseba ddywedyd wrth Salomon am*
*Abisag, ac yn cael ei ddihenydd. 26 Abi-*
*athar yn cael ei hoedl, ac yn colli'r offei-*
*riadaeth. 28 Joab yn ffoi at gyrn yr allor,*
*a'i ladd ef: 35 a gosod Benaiah yn lle Joab,*
*a Sadoc yn lle Abiathar. 36 Simei yn cael*
*gorchymyn i aros yn Jerusalem; ac am*
*fyned i Gath, yn gorfod arno farw.*

1015. YNA dyddiau Dafydd a nesasant i farw;
ac efe a orchymynodd i Salomon ei fab,
gan ddywedyd,
a Jos. 23. 14. 2 a Myfi wyf yn myned ffordd yr holl
ddaear: am hynny ymnertha, a bydd wr.
3 A chadw gadwraeth yr Arglwydd
† Neu, gwnelych yn gall. dy Dduw, i rodio yn ei ffyrdd ef, i gadw
ei ddeddfau ef, a'i orchymynion, a'i farn-
b Deut. 29. 9. Jos. 1. 7. 1 Chron. 22. 13. edigaethau, a'i dystiolaethau, fel yr ysgri-
fenwyd ynghyfraith Moses; fel y † b llwydd-
ych yn yr hyn oll a wnelych, ac i ba le byn-
nag y troech:
c Psal. 132. 12. 4 Fel y cyflawno'r Arglwydd ei air
a lefarodd efe wrthyf, gan ddywedyd, c Os
dy feibion a gadwant eu ffyrdd, i rodio ger
fy mron mewn gwirionedd, â'u holl galon,
ac â'u holl enaid, d ni thorrir (eb efe) na d 2 Sam. 7. 12.
*byddo* o honot wr ar orsedd-faingc Israel.
5 Tithau hefyd a wyddost yr hyn a wnaeth
Joab mab Serfiah â mi, *a'r* hyn a wnaeth
efe i ddau o dywysogion lluoedd Israel, i
e Abner fab Ner, ac i f Amasa fab Jether, y e 2 Sam. 3. 27.
rhai a laddodd efe, ac a ‡ ollyngodd waed
rhyfel mewn heddwch, ac a roddodd waed f 2 Sam. 20. 10.
rhyfel ar ei wregys *oedd* am ei lwynau, ac yn
ei esgidiau *oedd* am ei draed. ‡ Heb. *osododd.*
6 Am hynny gwna yn ol dy ddoethineb,
ac na ad i'w benllwydni ef ddisgyn i'r bedd
mewn heddwch.
7 Ond i feibion g Barzilai y Gileadiad y g 2 Sam. 19. 31.
gwnai garedigrwydd, a byddant ym mysg y
rhai a fwyttânt *ar* dy fwrdd di: canys felly
h y daethant attaf fi pan oeddwn yn ffoi h 2 Sam. 17. 27.
rhag Absalom dy frawd di.
8 Wele hefyd i Simei fab Gera, fab Je- i 2 Sam. 16. 5.
mini, o Bahurim, gyd â thi, yr hwn a'm
melldithiodd i â melldith § dost, y dydd § Heb. *galed.*
yr euthum i Mahanaim: k ond efe a ddaeth k 2 Sam. 19. 18.
i wared i'r Iorddonen i gyfarfod â mi; a
l mi a dyngais i'r Arglwydd wrtho ef, gan l 2 Sam. 19. 23.
ddywedyd, Ni'th laddaf â'r cleddyf.
9 Ond yn awr na ad di ef heb gospedi-
gaeth: canys gwr doeth *ydwyt* ti, a gwy-
ddost beth a wnai iddo: dwg dithau ei ben-
wynni ef i wared i'r bedd mewn gwaed.
10 Felly m Dafydd a hunodd gyd â'i dad- m Act. 2. 29. a 13. 36.
au, ac a gladdwyd n yn ninas Dafydd. n 2 Sam. 5. 7.
11 A'r dyddiau o y teyrnasodd Dafydd ar
Israel *oedd* ddeugain mlynedd: saith mly- o 2 Sam. 5. 4.
nedd y teyrnasodd efe yn Hebron, a thair 1 Chron. 29. 26, 27.
blynedd ar ddeg ar hugain y teyrnasodd efe
yn Jerusalem.
12 ¶ p A Salomon a eisteddodd ar orsedd- p 1 Chron. 29. 23. 2 Chron. 1. 1.
faingc Dafydd ei dad; a'i frenhiniaeth ef a
sicrhawyd yn ddirfawr.
13 ¶ Ac Adonïah mab Haggith a ddaeth 1014.
at Bathseba mam Salomon. A hi a ddy-
wedodd, q Ai heddychlon dy ddyfodiad? q 1 Sam. 16. 4.
Yntau a ddywedodd, Heddychlon.
14 Ac efe a ddywedodd, Y *mae* i mi air â
thi. Hithau a ddywedodd, Dywed.
15 Yntau a ddywedodd, Ti a wyddost
mai eiddof fi oedd y frenhiniaeth, ac i holl
Israel osod eu hwynebau ar fy ngwneuthur
i yn frenhin: eithr trodd y frenhiniaeth,
ac a aeth i'm brawd: canys r trwy'r Ar- r 1 Chron. 22. 9. a 28. 5.
glwydd yr aeth hi yn eiddo ef.
16 Ond yn awr dymunaf gennyt un dy-
muniad; na ‖ ommedd fi. Hithau a ddy- ‖ Heb. *thro heibio fy wyneb.*
wedodd wrtho, Dywed.
17 Yntau a ddywedodd, Dywed, attolwg,
wrth y brenhin Salomon (canys ni ommedd
efe dydi) am roddi o hono ef Abisag y
Sunamees yn wraig i mi.
18 A dywedodd Bathseba, Da; mi a ddy-
wedaf drosot ti wrth y brenhin.
19 ¶ Felly Bathseba a aeth at y brenhin
Salomon, i ddywedyd wrtho ef dros Ado-
nïah. A'r brenhin a gododd i'w chyfarfod
hi, ac a ostyngodd iddi, ac a eisteddodd ar
ei orsedd-faingc, ac a barodd osod gorsedd-
faingc i fam y brenhin: a s hi a eisteddodd s Edrych Psal. 45. 9.
ar ei ddeheulaw ef.
20 Yna hi a ddywedodd, Un dymuniad
bychan yr ydwyf fi yn ei ddymuno gennyt;
na ommedd fi. A'r brenhin a ddywedodd
wrthi hi, Gofyn, fy mam: canys ni'th
ommeddaf.
21 A hi a ddywedodd, Rhodder Abisag y
Sunamees yn wraig i Adonïah dy frawd.

22 A'r brenhin Salomon a attebodd ac
a ddywedodd wrth ei fam, Pa ham y ceisi
di Abisag y Sunamees i Adoniah? gofyn
hefyd y frenhiniaeth iddo ef (canys fy
mrawd hŷn nâ mi *ydyw* efe) a chyd ag ef
y mae Abiathar yr offeiriad, a Joab mab
Serfiah.
23 A'r brenhin Salomon a dyngodd i'r
[t] Ruth 1. 17. ARGLWYDD, gan ddywedyd, [t] Fel hyn y
gwnelo Duw i mi, ac fel hyn y 'chwanego,
onid yn erbyn ei einioes y llefarodd Adoniah
y gair hwn.
24 Yn awr gan hynny, *fel mai* byw'r
ARGLWYDD, yr hwn a'm sicrhaodd i, ac
a wnaeth i mi eistedd ar orsedd-faingc Dafydd
fy nhad, yr hwn hefyd a wnaeth i
[u] 2 Sam. 7. 12, 13. mi dŷ, megis [u] y dywedasai efe; heddyw
yn ddiau y rhoddir Adoniah i farwolaeth.
25 A'r brenhin Salomon a anfonodd gyd
â Benaiah mab Jehoiada; ac efe a ruthrodd
arno ef, fel y bu efe farw.
26 ¶ Ac wrth Abiathar yr offeiriad y
[x] Jos. 21. 18. dywedodd y brenhin, Dos i [x] Anathoth,
i'th fro dy hun; canys gwr *yn haeddu* marwolaeth
*ydwyt* ti: ond ni laddaf di y pryd
hyn; o herwydd dwyn o honot arch yr
Arglwydd DDUW o flaen fy nhad Dafydd,
[y] 1 Sam. 22. 20. 2 Sam. 15 24. ac [y] am dy gystuddio yn yr hyn oll y cystuddiwyd
fy nhad.
27 Felly y bwriodd Salomon Abiathar
ymaith o fod yn offeiriad i'r ARGLWYDD;
[z] 1 Sam. 2. 31, 35. fel [z] y cyflawnai air yr ARGLWYDD, yr hwn
a ddywedasai efe am dŷ Eli yn Siloh.
28 ¶ A'r chwedl a ddaeth at Joab: canys
Joab a wyrasai ar ol Adoniah, er na wyrasai
efe ar ol Absalom. A ffodd Joab i babell
[a] Pen. 1. 50 yr ARGLWYDD, ac [a] a ymaflodd ynghŷrn
yr allor.
29 A mynegwyd i'r brenhin Salomon, ffoi
o Joab i babell yr ARGLWYDD; ac wele, *y
mae efe* wrth yr allor. A Salomon a anfonodd
Benaiah fab Jehoiada, gan ddywedyd,
Dos, rhuthra arno ef.
30 A daeth Benaiah i babell yr ARGLWYDD,
ac a ddywedodd wrtho ef, Fel
hyn y dywed y brenhin; Tyred allan. Yntau
a ddywedodd, Na *ddeuaf*; eithr yma y
byddaf farw. A Benaiah a ddug drachefn
air at y brenhin, gan ddywedyd, Fel hyn y
dywedodd Joab, ac fel hyn y'm hattebodd.
31 A dywedodd y brenhin wrtho ef,
[b] Exod. 21. 14. [b] Gwna fel y dywedodd efe, a rhuthra arno
ef, a chladd ef; fel y tynnech y gwaed
gwirion a dywalltodd Joab, oddi arnaf fi, ac
oddi ar dŷ fy nhad i.
[c] Psal. 7. 16. 32 A'r ARGLWYDD [c] a ddychwel ei waed
ef ar ei ben ei hun; o herwydd efe a ruthrodd
ar ddau wr cyfiawnach a gwell nag ef
ei hun, ac a'u lladdodd hwynt â'r cleddyf,
[d] 2 Sam. 3. 27. a Dafydd fy nhad heb wybod; *sef* [d] Abner
fab Ner, tywysog llu Israel, ac [e] Amasa fab
[e] 2 Sam. 20. 10. Jether, tywysog llu Judah.
33 A'u gwaed hwynt a ddychwel ar ben
[f] 2 Sam. 3. 29. Joab, ac [f] ar ben ei had ef yn dragywydd:
ond i Ddafydd, ac i'w had, ac i'w dŷ, ac i'w
orsedd-faingc, y bydd heddwch yn dragywydd
gan yr ARGLWYDD.
34 Felly'r aeth Benaiah mab Jehoiada i
fynu, ac a ruthrodd arno, ac a'i lladdodd.
Ac efe a gladdwyd yn ei dŷ ei hun yn yr
anialwch.
[g] 1 Sam. 2. 35. Edrych 1 Chron. 6. 53. a 24. 3. 35 ¶ A'r brenhin a osododd Benaiah fab
Jehoiada yn ei le ef ar y filwriaeth. A'r
brenhin a osododd [g] Sadoc yr offeiriad yn
lle Abiathar.

36 ¶ A'r brenhin a anfonodd ac a alwodd
am [h] Simei, ac a ddywedodd wrtho, Adeilada [h] 2 Sam. 16. 5.
it' dŷ yn Jerusalem, ac aros yno, ac na ddos
allan oddi yno nac yma na thraw.
37 Canys bydd, y dydd yr elych allan, ac
yr elych dros [i] afon Cidron, gan wybod y [i] 2 Sam. 15. 23.
cai di wybod y lleddir di yn farw: dy waed
fydd ar dy ben dy hun.
38 A dywedodd Simei wrth y brenhin,
Da *yw*'r gair: fel y dywedodd fy arglwydd
frenhin, felly y gwna dy was. A Simei a
drigodd yn Jerusalem ddyddiau lawer.
39 Eithr ym mhen tair blynedd y ffodd 1011.
dau was i Simei at Achis, fab Maachah,
brenhin Gath. A mynegwyd i Simei, gan
ddywedyd, Wele, dy weision di yn Gath.
40 A Simei a gyfododd, ac a gyfrwyodd
ei asyn, ac a aeth i Gath at Achis, i geisio ei
weision: ïe Simei a aeth, ac a gyrchodd ei
weision o Gath.
41 A mynegwyd i Salomon, fyned o Simei
o Jerusalem i Gath, a'i ddychwelyd ef.
42 A'r brenhin a anfonodd ac a alwodd
am Simei, ac a ddywedodd wrtho, Oni
pherais i ti dyngu i'r ARGLWYDD, ac *oni*
thystiolaethais wrthyt, gan ddywedyd, Yn
y dydd yr elych allan, ac yr elych nac yma
nac acw, gan wybod gwybydd y lleddir di
yn farw? a thi a ddywedaist wrthyf, Da
*yw*'r gair a glywais.
43 Pa ham gan hynny na chedwaist Iw'r
ARGLWYDD, a'r gorchymyn a orchymynais
i ti?
44 A dywedodd y brenhin wrth Simei,
Ti a wyddost [k] yr holl ddrygioni a ŵyr dy [k] 2 Sam. 16. 5.
galon, yr hwn a wnaethost di yn erbyn Dafydd
fy nhad: yr ARGLWYDD am hynny a
ddychwelodd dy ddrygioni di ar dy ben dy
hun;
45 A bendigedig *fydd* y brenhin Salomon,
a gorsedd-faingc Dafydd a sicrhâir o flaen
yr ARGLWYDD yn dragywydd.
46 Felly y gorchymynodd y brenhin i Benaiah
fab Jehoiada; ac efe a aeth allan, ac a
ruthrodd arno ef, fel y bu efe farw. A'r
[l] frenhiniaeth a sicrhawyd yn llaw Salomon. [l] 1 Chron. 1. 1.

## PEN. III.

1 *Salomon yn priodi merch Pharaoh: 2 ac wrth aberthu yn uchelfa Gibeon, 5 yn cael gan Dduw ei ddewis rodd, ac yn dewis doethineb; ac yn cael doethineb, a chyfoeth, ac anrhydedd. 16 Barn Salomon rhwng y ddwy buttain, yn ei wneuthur ef yn enwog.* Ebrill 28. P.

A [a] Salomon a ymgyfathrachodd â Pharaoh 1014.
brenhin yr Aipht, ac a briododd [a] Pen. 7. 8.
ferch Pharaoh, ac a'i dug hi i ddinas Dafydd,
nes darfod iddo adeiladu ei dŷ ei hun, a
thŷ'r ARGLWYDD, a [b] mur Jerusalem oddi [b] Pen. 9. 15, 19.
amgylch.
2 Etto y bobl oedd yn aberthu mewn
uchelfaoedd, o herwydd nad adeiladasid tŷ
i enw'r ARGLWYDD, hyd y dyddiau hynny.
3 A Salomon a garodd yr ARGLWYDD,
gan rodio yn neddfau Dafydd ei dad: etto
mewn uchelfaoedd yr oedd efe yn aberthu
ac yn arogl-darthu.
4 [c] A'r brenhin a aeth i Gibeon i aberthu [c] 2 Chron. 1. 3.
yno: canys honno *oedd* uchelfa fawr. Mil
o boeth-offrymmau a offrymmodd Salomon
ar yr allor honno.
5 ¶ [d] Yn Gibeon yr ymddangosodd yr [d] Pen. 9. 2.
ARGLWYDD i Salomon mewn breuddwyd
liw nos: a dywedodd Duw, Gofyn beth a
roddaf i ti.

6 A dywedodd Salomon, Ti a wnaethost â'th was Dafydd fy nhad fawr † drugaredd, megis y rhodiodd efe o'th flaen di mewn gwirionedd, ac mewn cyfiawnder, ac mewn uniondeb calon gyd â thi; ie cedwaist iddo y drugaredd fawr hon, a rhoddaist iddo fab i eistedd ar ei orsedd-fainge, fel y *gwelir* heddyw.

† Neu, *haelioni.*

7 Ac yn awr, O ARGLWYDD fy NUW, ti a wnaethost i'th was deyrnasu yn lle Dafydd fy nhad: a minnau yn fachgen bychan: ni fedraf [e] fyned nac allan nac i mewn.

e Num. 27. 17.

8 A'th was *sydd* ym mysg dy bobl, y rhai a ddewisaist ti; pobl aml, y rhai ni rifir ac ni's cyfrifir gan liosowgrwydd.

9 Am hynny [f] dyro i'th was galon ‡ ddeallus, i farnu dy bobl, i ddeall *rhagor* rhwng da a drwg: canys pwy a ddichon farnu dy liosog bobl hyn?

f 2 Chron. 1. 10. ‡ Neu, *wrandd.* Heb. *yn clywed.*

10 A'r peth fu dda yngolwg yr ARGLWYDD, am ofyn o Salomon y peth hyn.

11 A DUW a ddywedodd wrtho, O herwydd gofyn o honot y peth hyn, ac na ofynaist it' ddyddiau lawer, ac na ofynaist it' olud, ac na cheisiaist einioes dy elynion, eithr gofynaist it' ddeall i wrando barn:

12 Wele, gwneuthum yn ol dy eiriau; wele, [g] rhoddais it' galon ddoeth a deallus, fel na bu dy fath o'th flaen, ac na chyfyd dy fath ar dy ol.

g Preg. 1. 16.

13 A [h] rhoddais it' hefyd yr hyn ni's gofynaist, golud, a gogoniant hefyd; fel na § byddo un o'th fath ym mysg y brenhinoedd, dy holl ddyddiau di.

h Doeth. 7. 11. Mat. 6. 33. Eph. 3. 20. § Neu, *bu.*

14 Ac os rhodi yn fy ffyrdd i, gan gadw fy neddfau a'm gorchymynion, [i] megis y rhodiodd Dafydd dy dad, estynaf hefyd dy ddyddiau di.

i Pen. 15. 5.

15 A Salomon a ddeffrôdd; ac wele, breuddwyd *oedd.* Ac efe a ddaeth i Jerusalem, ac a safodd o flaen arch cyfammod yr ARGLWYDD, ac a offrymmodd offrymmau poeth, ac a aberthodd aberthau hedd, ac a wnaeth wledd i'w holl weision.

16 ¶ Yna dwy wragedd o butteiniaid a ddaethant at y brenhin, ac a safasant ger ei fron ef.

17 A'r naill wraig a ddywedodd, O fy arglwydd, myfi a'r wraig hon oeddym yn trigo yn yr un tŷ; a mi a esgorais yn tŷ gyd â hi.

18 Ac ar y trydydd dydd wedi esgor o honof fi, yr esgorodd y wraig hon hefyd; ac *yr oeddym* ni ynghŷd, heb arall yn tŷ gyd â ni, ond nyni ein dwyoedd yn tŷ.

19 A mab y wraig hon a fu farw liw nos; o herwydd hi a orweddodd arno ef.

20 A hi a gododd ynghanol y nos, ac a gymmerodd fy mab i o'm hymyl, tra yr ydoedd dy law-forwyn yn cysgu, ac a'i gosododd ef yn ei mynwes hi, a'i mab marw hi a osododd hi yn fy mynwes innau.

21 A phan godais i y bore i beri i'm mab sugno, wele, marw oedd efe: ac wedi i mi ddal arno y bore, wele, nid fy mab i, yr hwn a esgoraswn i, ydoedd efe.

22 A'r wraig arall a ddywedodd, Nag ê; eithr fy mab i *yw* y byw, a'th fab dithau *yw* y marw. A hon a ddywedodd, Nag ê; eithr dy fab di *yw* y marw, a'm mab i *yw* y byw. Fel hyn y llefarasant o flaen y brenhin.

23 Yna y dywedodd y brenhin, Hon sydd yn dywedyd, Dyma fy mab i *sydd* fyw, a'th fab dithau *yw*'r marw: a hon acw sydd yn dywedyd, Nag ê; eithr dy fab di *yw*'r marw, a'm mab innau *yw*'r byw.

24 A dywedodd y brenhin, Dygwch i mi gleddyf. A hwy a ddygasant gleddyf o flaen y brenhin.

25 A'r brenhin a ddywedodd, Rhennwch y bachgen byw yn ddau, a rhoddwch yr hanner i'r naill, a'r hanner i'r llall.

26 Yna y dywedodd y wraig *biewdd* y mab byw wrth y brenhin (canys [k] ei hymysgaroedd a gynhesasai wrth ei mab) ac a lefarodd, O fy arglwydd, rhoddwch iddi hi y bachgen byw, ac na leddwch ef ddim: ond y llall a ddywedodd, Na fydded eiddo fi na thithau, *eithr* rhennwch *ef.*

k Hos. 11. 8.

27 Yna yr attebodd y brenhin, ac y dywedodd, Rhoddwch y bachgen byw iddi hi, ac na leddwch ef ddim: dyna ei fam ef.

28 A holl Israel a glywsant y farn a farnasai'r brenhin; a hwy a ofnasant y brenhin: canys gwelsant *fod* doethineb Duw ynddo ef, i wneuthur barn.

## PEN. IV.

1 *Tywysogion Salomon,* 7 *a deuddeg swyddog ei lys ef;* 20, 24 *a heddwch a helaethrwydd ei frenhiniaeth;* 22 *ac arlwy ei fwrdd,* 26 *a'i stablau;* 29 *a'i ddoethineb,* 32 *a'i lyfrau.* Ebrill 29. B.

A'R brenhin Salomon oedd frenhin ar holl Israel. 1014.

2 A dyma'r tywysogion *oedd* ganddo ef: Azarïah mab Sadoc, † yr offeiriad;

† Neu, *y pen-swyddog.*

3 Elihoreph ac Ahïah, meibion Sisa, *oedd* ysgrifenyddion; [a] Jehosaphat mab Ahilud, yn gofiadur;

a 2 Sam. 8. 16. a 20. 24.

4 Benaiah mab Jehoiada *oedd* ar y llu; a Sadoc ac Abïathar, yn offeiriaid;

5 Ac Azarïah mab Nathan *oedd* ar y swyddogion; a Zabud mab Nathan *oedd* benllywydd, *ac* yn gyfaill i'r brenhin;

6 Ac Ahisar *oedd* benteulu; ac [b] Adoniram mab Abda, ar y ‡ deyrn-ged.

b Pen. 5. 14. ‡ Neu, *dreth.*

7 ¶ A chan Salomon yr ydoedd deuddeg o swyddogion ar holl Israel, y rhai a barottôent luniaeth i'r brenhin a'i dŷ: mis yn y flwyddyn yr oedd ar *bob* un ddarparu.

8 Dyma eu henwau hwynt. § Mab Hur, ym mynydd Ephraim.

§ Neu, *Ben-hur.*

9 ‖ Mab Decar ym Macas, ac yn Saalbim, a Bethsemes, ac Elon-bethanan.

‖ Neu, *Ben-decar.*

10 † Mab Hesed, yn Aruboth: iddo ef *yr oedd* Sochoh, a holl dir Hepher.

† Neu, *Ben-hesed.*

11 ‡ Mab Abinadab *oedd yn* holl ardal Dor: Taphath merch Salomon oedd yn wraig iddo ef.

‡ Neu, *Ben-abinadab.*

12 Baana mab Ahilud *oedd yn* Taanach, a Megido, a Bethsean oll, yr hon *sydd* ger llaw Sartanah, Is law Jezreel, o Bethsean hyd Abel-meholah, hyd y tu hwnt i Jocneam.

13 § Mab Geber *oedd* yn Ramoth Gilead: iddo ef *yr oedd* [c] trefydd Jair mab Manasseh, y rhai *sydd* yn Gilead: eiddo ef *oedd* [d] ardal Argob, yr hon *sydd* yn Basan; *sef* tri ugain o ddinasoedd mawrion, â chaerau, a barrau pres.

§ Neu, *Ben-geber.* c Num. 32. 41. d Deut. 3. 4.

14 Ahinadab mab Ido *oedd* ym Mahanaim.

15 Ahimaas *oedd* yn Naphtali: yntau a gymmerodd Basmath merch Salomon yn wraig.

16 Baana mab Husai *oedd* yn Aser ac yn Aloth.

17 Jehosaphat mab Paruah *oedd* yn Issachar.

18 Simei mab Ela *oedd* o fewn Benjamin.

19 Geber mab Uri *oedd* yngwlâd Gilead, gwlad Sehon brenhin yr Amoriaid, ac Og brenhin Basan; a'r unig swyddog *oedd* yn y wlad *ydoedd efe.*

20 ¶ Judah ac Israel *oedd* aml, fel y tywod *sydd* ger llaw 'r môr o amldra, yn bwytta ac yn yfed, ac yn gwneuthur yn llawen.

e Eccl. 47. 13. Edrych Psal. 72. 8. 21 A [e] Salomon oedd yn llywodraethu ar yr holl deyrnasoedd, o'r afon hyd wlad y Philistiaid, ac hyd derfyn yr Aipht: yr oeddynt hwy yn dwyn anrhegion, ac yn gwasanaethu Salomon holl ddyddiau ei einioes ef.

† Heb. *bara.* 22 ¶ A † bwyd Salomon beunydd oedd ddeg corus ar hugain o beilliaid, a thri ugain corus o flawd;

23 Deg o ychen pasgedig, ac ugain o ychen porfadwy, a chant o ddefaid, heb law ceirw, ac iyrchod, a buail, ac ‡ ednod breision.
‡ *adar.*

24 Canys efe oedd yn llywodraethu ar y tu yma i'r afon oll, o Tiphsah hyd Azzah, ar yr holl frenhinoedd o'r tu yma i'r afon: ac yr oedd iddo ef heddwch o bob parth iddo o amgylch.

25 Ac yr oedd Judah ac Israel yn preswylio
§ Heb. *hyderus.* yn § ddiogel, [f] bob un dan ei winwŷdden
a than ei ffigysbren, [g] o Ddan hyd Beerseba,
f Mic. 4. 4. Zec. 3. 10. holl ddyddiau Salomon.

g Barn. 20. 1. 26 ¶ Ac [h] yr oedd gan Salomon ddeugain mil o bresebau [i] meirch i'w gerbydau, a deuddeng mil o wŷr meirch.

h Pen. 10. 26, 20. 2 Chron. 1. 14. a 9. 25. 27 A'r swyddogion hynny a barottôent luniaeth i Salomon y brenhin, ac i bawb a ddelai i fwrdd y brenhin Salomon, pob un yn ei fis: ni adawsant eisiau dim.
i Edrych Deut. 17. 16.

28 Haidd hefyd a gwellt a ddygasant hwy i'r meirch, ac i'r cyflym gamelod, i'r fan lle y byddai'*r swyddogion*, pob un ar ei ran.

k Eccl. 47. 14, 15, 16. 29 ¶ A [k] Duw a roddodd ddoethineb i Salomon, a deall mawr iawn, a helaethdra calon, fel y tywod *sydd* ar fin y môr.

30 A doethineb Salomon oedd fwy nâ doethineb holl feibion y dwyrain, ac nâ
l Edrych Act. 7. 22. holl [l] ddoethineb yr Aipht.

31 Ie doethach oedd efe nag un dyn;
m 1 Chron. 2. 6. Psal. 88. tit. a 89. tit. nag [m] Ethan yr Ezrahiad, nâ Heman, nâ Chalcol, nâ Darda, meibion Mahol: a'i enw ef oedd ym mhlith yr holl genhedloedd oddi amgylch.

n Preg. 12. 9. 32 Ac [n] efe a lefarodd dair mil o ddïarhebion: a'i ganiadau ef oedd fil a phump.

33 Llefarodd hefyd am brennau, o'r cedrwŷdd *sydd* yn Libanus, hyd yr isop a dŷf allan o'r pared: ac efe a lefarodd am anifeiliaid, ac am ehediaid, ac am ymlusgiaid, ac am bysgod.

34 Ac o bob pobloedd y daethpwyd i wrando doethineb Salomon, oddi wrth holl frenhinoedd y ddaear, y rhai a glywsent am ei ddoethineb ef.

## PEN. V.

Ebrill 29. P. 1 *Hiram yn gyrru i gyfarch Salomon, ac yn cael gwybod ei fod ef ar fedr adeiladu'r deml, ac yn addaw defnyddiau i'r gwaith.* 7 *Hiram yn bendithio Duw dros Salomon, yn cael ymborth i'w deulu, ac yn gyrru coed i Salomon.* 13 *Rhifedi gweithwŷr Salomon.*

1014.

a Adn. 10. 18. 2 Chron. 2. 3. [a] HIRAM *hefyd* brenhin Tyrus a anfonodd ei weision at Salomon (canys clybu eneinio o honynt hwy ef yn frenhin yn lle ei dad) canys [b] hoff oedd gan Hiram Ddafydd bob amser. b 2 Sam. 5. 11. 1 Chron. 14. 1. Amos 1. 9.

2 A [c] Salomon a anfonodd at Hiram, gan ddywedyd,

c 2 Chron. 2. 3. 3 Ti a wyddost am Ddafydd fy nhad, na allai efe adeiladu tŷ i enw 'r ARGLWYDD ei DDUW, [d] gan y rhyfeloedd oedd o'i amgylch ef, nes rhoddi o'r ARGLWYDD hwynt dan wadnau ei draed ef. d 1 Chron. 22. 8. a 28. 3.

4 Eithr yn awr yr ARGLWYDD fy NUW a roddodd i mi lonydd oddi amgylch, *fel nad oes* na gwrthwynebydd, nac ymgyfarfod niweidiol.

5 Ac wele, fi † â'm bryd ar adeiladu tŷ † Heb. *yn dywedyd am.*
i enw'r ARGLWYDD fy NUW; [e] megis y llefarodd yr ARGLWYDD wrth Ddafydd fy e 2 Sam. 7. 13.
nhad, gan ddywedyd, Dy fab, yr hwn a osodaf fi yn dy le di ar dy orsedd-faingc di, efe 1 Chron. 17. 12. a 22. 10.
a adeilada dŷ i'm henw i.

6 Yn awr, gan hynny, gorchymyn dorri o honynt i mi gedrwŷdd o Libanus; a'm gweision i a fyddant gyd â'th weision di: a rhoddaf attat gyflog dy weision, yn ol yr hyn a ddywedych: canys ti a wyddost nad *oes* yn ein plith ni wr a fedro gymynu coed megis y Sidoniaid.

7 ¶ A bu, pan glybu Hiram eiriau Salomon, lawenychu o hono ef yn ddirfawr, a dywedyd, Bendigedig *yw'r* ARGLWYDD heddyw, yr hwn a roddes i Ddafydd fab doeth ar y bobl lïosog yma.

8 A Hiram a anfonodd at Salomon, gan ddywedyd, Gwrandewais ar yr hyn a anfonaist attaf: mi a wnaf dy holl ewyllys di am goed cedrwŷdd, a choed ffynnidwŷdd.

9 Fy ngweision a'*u* dygant i wared o Libanus hyd y môr: a mi a'u gyrraf hwynt
yn gludeiriau ar hŷd y môr, hyd [f] y fan f 2 Chron. 2. 16.
a ‡ osodych di i mi; ac yno y dattodaf ‡ Heb. *anfonych.*
hwynt, a chymmer di *hwynt*: ond ti a wnai
fy ewyllys innau, [g] gan roddi ymborth i'm g Edrych Ezra 3. 7.
teulu i. Ezec. 27. 17.

10 Felly yr oedd Hiram yn rhoddi i Salomon o goed cedrwŷdd, ac o goed ffynnidwŷdd, ei holl ddymuniad. Act. 12. 20

11 A [h] Salomon a roddodd i Hiram ugain mil corus o wenith *yn* gynhaliaeth i'w dŷ, ac ugain corus o olew coeth: felly y rhoddai Salomon i Hiram bob blwyddyn. h Edrych 2 Chron. 2. 10.

12 A'r ARGLWYDD a roddes ddoethineb i Salomon, [i] fel y dywedasai wrtho: a bu heddwch rhwng Hiram a Salomon; a hwy a wnaethant gyfammod ill dau. i Pen. 3. 12.

13 ¶ A'r brenhin Salomon a gyfododd § dreth o holl Israel; a'r dreth oedd ddeng mil ar hugain o wŷr. § Neu, *deyrn-ged* o wŷr.

14 Ac efe a'u hanfonodd hwynt i Libanus, deng mil yn y mis *ar* gylch: mis y byddent yn Libanus, *a* dau fis gartref. Ac [k] Adoniram *oedd* ar y dreth. k Pen. 4. 6.

15 Ac yr oedd gan Salomon ddengmil a thrugain yn dwyn beichiau, a phedwar ugain mil yn naddu cerrig yn y mynydd;

16 Heb law pen-swyddogion Salomon, y rhai *oedd* ar y gwaith, sef tair mil a thrichant, yn llywodraethu 'r bobl a weithient yn y gwaith.

17 A'r brenhin a orchymynodd ddwyn o honynt hwy feini mawr, a meini costus, *a* meini nadd, i sylfaenu'r tŷ.

18 Felly seiri Salomon, a seiri Hiram, a'r [l] Gibliaid, a naddasant, ac a ddarparasant l Esec. 27. 9.
goed a cherrig i adeiladu 'r tŷ.

## PEN. VI.

Ebrill 30. B.

1 *Adeiladu teml Salomon,* 5 *a'i 'stafelloedd.* 11 *Addewid Duw i'r deml.* 15 *Byrddio ac addurno'r deml.* 23 *Y cerubiaid.* 31 *Y dorau.* 36 *Y cyntedd.* 37 *Yr hŷd y bu'n yd yn adeiladu'r deml.*

1012.

AC [a] yn y bedwar-ugeinfed a phedwar cant o flynyddoedd wedi dyfod meibion Israel allan o'r Aipht, yn y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Salomon ar Israel, yn y mis Ziff, hwnnw *yw*'r ail mis, † [b] y dechreuodd efe adeiladu tŷ'r ARGLWYDD.

[a] 2 Chron. 3. 1. † Neu, *yr adeiladodd.* [b] Act. 7. 47.

2 A'r [c] tŷ a adeiladodd y brenhin Salomon i'r ARGLWYDD *oedd* dri ugain cufydd ei hŷd, ac ugain *cufydd* ei led, a deg cufydd ar hugain ei uchder.

[c] Edrych Ezec. 41. 1, &c.

3 A'r porth o flaen teml y tŷ *oedd* ugain cufydd ei hŷd, yn un hŷd â lled y tŷ; *ac* yn ddeg cufydd ei led, o flaen y tŷ.

4 Ac efe a wnaeth i'r tŷ [d] ffenestri, ‡ yn llydain oddi fewn, ac yn gyfyng oddi allan.

[d] Edrych Ezec. 40. 16. a 41. 16. ‡ Neu, *ar osgo ac yn gauad.*

5 ¶ Ac efe a adeiladodd § wrth fur y tŷ ‖ [e] 'stafelloedd oddi amgylch mur y tŷ, ynghylch y deml, a'r gafell; ac a wnaeth † gelloedd o amgylch.

§ Neu, *ar.* ‖ Heb. *loriau.*

6 Yr ystafell isaf *oedd* bùm cufydd ei lled, a'r ganol chwe chufydd ei lled, a'r drydedd yn saith gufydd ei lled: canys efe a roddasai attegion o'r tu allan i'r tŷ oddi amgylch, fel na rwymid *y trawstiau* ym mur y tŷ.

[e] Edrych Ezec. 41. 6. † Heb. *asennau.*

7 A'r [f] tŷ, pan adeiladwyd ef, a adeiladwyd o gerrig wedi eu cwbl naddu cyn eu dwyn yno: fel na chlybuwyd na morthwylion, na bwyill, *nac* un offeryn haiarn, yn y tŷ, wrth ei adeiladu.

[f] Edrych Deut. 27. 5, 6.

8 Drws y gell ganol *oedd* ar ‡ ystlys dehau'r tŷ; ac ar hŷd grisiau tröedig y dringid i'r ganol, ac o'r ganol i'r drydedd.

‡ Heb. *ysgwydd ddehau.*

1005.

9 Felly yr adeiladodd efe'r tŷ, ac a'i gorphenodd; ac a fyrddiodd y tŷ â thrawstiau ac ystyllod o gedrwŷdd.

10 Ac efe a adeiladodd ystafelloedd wrth yr holl dŷ, yn bùm cufydd eu huchder: ac â choed cedr yr oeddynt yn pwyso ar y tŷ.

11 ¶ A daeth gair yr ARGLWYDD at Salomon, gan ddywedyd,

12 *Am* y tŷ yr wyt ti yn ei adeiladu, [g] os rhodi di yn fy neddfau i, a gwneuthur fy marnedigaethau, a chadw fy holl orchymynion, gan rodio ynddynt; yna y cyflawnaf â thi fy ngair [h] a leferais wrth Ddafydd dy dad.

[g] Pen. 2. 4. a 9. 4. [h] 2 Sam. 7. 13. 1 Chron. 22. 10.

13 A [i] mi a breswyliaf ym mysg meibion Israel, ac ni adawaf fy mhobl Israel.

[i] Exod. 25. 8.

14 Felly'r adeiladodd Salomon y tŷ, ac a'i gorphenodd.

15 Ac efe a fyrddiodd barwydydd y tŷ oddi fewn ag ystyllod cedrwŷdd, o lawr y tŷ hyd y llogail y byrddiodd efe ef â choed oddi fewn: byrddiodd hefyd lawr y tŷ â phlangciau o ffynnidwŷdd.

16 Ac efe a adeiladodd ugain cufydd ar ystlysau'r tŷ ag ystyllod cedr, o'r llawr hyd y parwydydd: felly'r adeiladodd iddo o fewn, *sef* i'r gafell, i'r cyssegr sancteiddiolaf.

17 A'r tŷ, sef y deml o'i flaen ef, oedd ddeugain cufydd *ei hŷd.*

18 A chedrwŷdd y tŷ oddi fewn *oedd* wedi eu cerfio yn gnapiau, ac yn flodau agored: y cwbl *oedd* gedrwŷdd; ni welid carreg.

19 A'r gafell a ddarparodd efe yn y tŷ o fewn, i osod yno arch cyfammod yr ARGLWYDD.

20 A'r gafell yn y pen blaen *oedd* ugain cufydd o hŷd, ac ugain cufydd o led, ac ugain cufydd ei huchder: ac efe a'i gwisgodd ag aur pur; *felly hefyd* y gwisgodd efe'r allor o gedrwŷdd.

21 Salomon *hefyd* a wisgodd y tŷ oddi fewn ag aur § pur; ac a roddes farrau ar draws, wrth gadwyni aur, o flaen y gafell, ac a'u gwisgodd ag aur.

§ Heb. *caeedig.*

22 A'r holl dŷ a wisgodd efe ag aur, nes gorphen yr holl dŷ: yr allor hefyd oll, yr hon *oedd* wrth y gafell, a wisgodd efe ag aur.

23 ¶ Ac efe a wnaeth yn y gafell ddau o gerubiaid, *o* bren ‖ olewŷdd, *pob un yn* ddeg cufydd ei uchder.

‖ Heb. *olew.*

24 A'r naill aden i'r cerub *oedd* bùm cufydd, a'r aden arall i'r cerub *oedd* bùm cufydd: deg cufydd *oedd* o'r naill gwrr i'w adenydd ef hyd y cwrr arall i'w adenydd ef.

25 A'r ail cerub *oedd* o ddeg cufydd: un fesur ac un agwedd *oedd* y ddau gerub.

26 Uchder y naill gerub *oedd* ddeg cufydd; ac felly'r *oedd* y cerub arall.

27 Ac efe a osododd y cerubiaid yn y tŷ oddi fewn: † ac [k] adenydd y cerubiaid a ymledasant, fel y cyffyrddodd aden y naill â'r *naill* bared, ac aden y cerub arall oedd yn cyffwrdd â'r pared arall; a'u hadenydd hwy ynghanol y tŷ oedd yn cyffwrdd â'u gilydd.

† Neu, *a'r cerubiaid a ledasant eu hadenydd.* [k] Exod. 25. 20.

28 Ac efe a wisgodd y cerubiaid ag aur.

29 A holl barwydydd y tŷ o amgylch a gerfiodd efe â cherfiedig luniau cerubiaid, a phalmwŷdd, a bloden agored, o fewn ac oddi allan.

30 Llawr y tŷ hefyd a wisgodd efe ag aur, oddi fewn ac oddi allan.

31 ¶ Ac i ddrws y gafell y gwnaeth efe ddorau *o* goed olewŷdd; cappan y drws *a'r* gorsingau *oedd* ‡ bummed ran *y pared.*

‡ Neu, *bùm ysgwâr.*

32 Ac ar § y ddwy ddor *o* goed olewŷdd y cerfiodd efe gerfiadau cerubiaid, a phalmwŷdd, a bloden agored, ac a'u gwisgodd ag aur, ac a ledodd aur ar y cerubiaid, ac ar y palmwŷdd.

§ Neu, *ddolennau y dorau.*

33 Ac felly y gwnaeth efe i ddrws y deml orsingau *o* goed olewŷdd, *y rhai oedd* ‖ bedwaredd ran *y pared.*

‖ Neu, *bedeirongl.*

34 Ac yr *oedd* y ddwy ddor *o* goed ffynnidwŷdd: [l] dwy ddalen blygedig *oedd* i'r naill ddor, a dwy ddalen blygedig i'r ddor arall.

[l] Ezec. 41. 23.

35 Ac efe a gerfiodd gerubiaid, a phalmwŷdd, a bloden agored, *arnynt;* ac a'u gwisgodd ag aur, yr hwn a gymhwyswyd ar y cerfiad.

36 ¶ Ac efe a adeiladodd y cyntedd nesaf i mewn â thair rhes o gerrig nadd, ac â rhes o drawstiau cedrwŷdd.

37 ¶ [m] Yn y bedwaredd flwyddyn y sylfaenwyd tŷ'r ARGLWYDD, ym mis Ziff:

[m] Adn. 1.

38 Ac yn yr unfed flwyddyn ar ddeg, ym mis Bul (dyna'r wythfed mis) y gorphenwyd y tŷ, a'i holl rannau, a'i holl † berthynasau. Felly *mewn* [n] saith mlynedd yr adeiladodd efe ef.

† Neu, *ordeiniadau.* [n] Edrych adn. 1.

## PEN. VII.

Ebrill 30. P.

1 *Adeiladu tŷ Salomon,* 2 *a thŷ coed Libanus,* 6 *a'r porth colofnau,* 7 *a phorth y frawdle,* 8 *a thŷ merch Pharaoh.* 13 *Gwaith Hiram ar y ddwy golofn.* 23 *Y môr tawdd.* 27 *Y deg ystôl.* 38 *Y deg noe bres.* 40 *A'r holl lestri.*

1005. EITHR ei dŷ ei hun a adeiladodd Salo-
[a] Pen. 9. mon mewn [a] tair blynedd ar ddeg, ac a
10. orphenodd ei holl dŷ.
2 ¶ Efe a adeiladodd dŷ coedwig Liba-
nus, yn gan cufydd ei hŷd, ac yn ddeg
cufydd a deugain ei led, ac yn ddeg cufydd
ar hugain ei uchder, ar bedair rhes o golof-
nau cedrwŷdd, a thrawstiau cedrwŷdd ar
y colofnau.
3 Ac efe a döwyd â chedrwŷdd oddi ar-
† Heb. *yr ais.* nodd ar † y trawstiau *oedd* ar y pum colofn
a deugain, pymtheg *yn* y rhes.
‡ Heb. *golwg at gyfer golwg.* 4 Ac *yr oedd* tair rhes o ffenestri, ‡ goleu
ar gyfer goleu, *yn* dair rhengc.
5 A'r holl ddrysau a'r gorsingau *oedd* ys-
gwâr, *felly'r oedd* y ffenestri; a goleu ar
gyfer goleu, *yn* dair rhengc.
6 ¶ Hefyd efe a wnaeth borth o golofnau,
yn ddeg cufydd a deugain ei hŷd, ac yn ddeg
cufydd ar hugain ei led: a'r porth *oedd* o'u
blaen hwynt; a'r colofnau *eraill* a'r swm-
merau *oedd* o'u blaen hwythau.
7 ¶ Porth yr orseddfa *hefyd*, yr hwn y
barnai efe ynddo, a wnaeth efe yn borth
§ Heb. *o lawr i lawr.* barn: ac efe a wisgwyd â chedrwŷdd § o'r
naill gwrr i'r llawr hyd y llall.
8 ¶ Ac i'w dŷ ei hun, yr hwn y trigai efe
ynddo, *yr oedd* cyntedd arall o fewn y porth
o'r un fath waith. Gwnaeth hefyd dŷ i
[b] Pen. 3. ferch Pharaoh, [b] yr hon a briodasai Salo-
1. mon, fel y porth hwn.
9 Hyn oll *oedd* o feini costus, wedi eu
naddu wrth fesur, *a'u* lladd â llif, oddi
fewn ac oddi allan, *a hynny* o'r sylfaen
hyd y llogail; ac *felly* o'r tu allan hyd y
cyntedd mawr.
10 Ac efe a sylfaenesid â meini costus,
â meini mawr, â meini o ddeg cufydd, ac â
meini o wyth gufydd.
11 Ac oddi arnodd *yr oedd* meini costus
(wedi eu naddu wrth fesur) a chedrwŷdd.
12 Ac *i'r* cyntedd mawr *yr oedd* o am-
gylch, dair rhes o gerrig nadd, a rhes o
drawstiau cedrwŷdd, i gyntedd tŷ'r ARGLWYDD oddi fewn, ac i borth y tŷ.
13 ¶ A'r brenhin Salomon a anfonodd ac
[c] 2 Chron. a gyrchodd [c] Hiram o Tyrus.
4. 11. 14 [d] Mab gwraig weddw *oedd* hwn o
Edrych adn. 40. lwyth Naphtali, a'i dad yn wr o Tyrus:
[d] 2 Chron. gôf pres *ydoedd efe;* a [e] llawn ydoedd o
2. 14. ddoethineb, a deall, a gwybodaeth, i weithio
[e] Exod. 31. pob gwaith o bres. Ac efe a ddaeth at y
3. brenhin Salomon, ac a weithiodd ei holl
waith ef.
|| Heb. *bwriodd.* 15 Ac efe a || fwriodd [f] ddwy golofn o
[f] 2 Bren. bres; deunaw cufydd *oedd* uchder pob co-
25. 17. lofn; a llinyn o ddeuddeg cufydd a am-
2 Chron. 3. gylchai bob un o'r ddwy.
15. a 4. 12. 16 Ac efe a wnaeth ddau gnap *o* bres
Jer. 52. 21. tawdd, i'w rhoddi ar bennau'r colofnau;
pum cufydd *oedd* uchder y naill gnap, a
phum cufydd uchder y cnap arall.
17 Efe a wnaeth rwydwaith, *a* phlethi-
adau o gadwynwaith, i'r cnapiau *oedd* ar
ben y colofnau; saith i'r naill gnap, a saith
i'r cnap arall.
18 Ac efe a wnaeth y colofnau, a dwy res
o bomgranadau o amgylch ar y naill rwyd-
waith, i guddio'r cnapiau *oedd* uwch ben; ac
felly y gwnaeth efe i'r cnap arall.
19 A'r cnapiau y rhai *oedd* ar y colofnau
*oedd* o waith lili, yn y porth, yn bedwar
cufydd.
20 Ac i'r cnapiau ar y ddwy golofn oddi
arnodd, ar gyfer y canol, *yr oedd pomgra-
nadau,* y rhai oedd wrth y rhwydwaith; a'r
pomgranadau *oedd* [g] ddau cant, yn rhesau [g] Edrych
o amgylch, ar y cnap arall. 2 Chron. 3. 16. a 4. 13.
21 [h] Ac efe a gyfododd y colofnau [i] ym Jer. 52. 23.
mhorth y deml: ac a gyfododd y golofn [h] 2 Chron.
ddehau, ac a alwodd ei henw hi † Jachin; 3. 17.
ac efe a gyfododd y golofn aswy, ac a alw- [i] Pen. 6. 3.
odd ei henw hi ‡ Boaz. † Hynny yw, *Efe a sicrhâ.*
22 Ac ar ben y colofnau *yr oedd* gwaith
lili. Felly y gorphenwyd gwaith y co- ‡ Sef, *Ynddo*
lofnau. *y mae*
23 ¶ Ac efe a wnaeth [k] fôr tawdd, yn *nerth.*
ddeg cufydd o ymyl i ymyl: yn grwn oddi
amgylch, ac yn bùm cufydd ei uchder; a [k] Jer. 52.
llinyn o ddeg cufydd ar hugain a'i ham- 17.
gylchai oddi amgylch.
24 A chnapiau a'i hamgylchent ef dan
ei ymyl o amgylch, deg mewn cufydd
oedd [l] yn amgylchu'r môr o amgylch: y [l] 2 Chron.
cnapiau *oedd* yn ddwy res, wedi eu bwrw 4. 3.
pan fwriwyd yntau.
25 Sefyll yr oedd ar [m] ddeuddeg o ychen; [m] Jer. 52.
tri oedd yn edrych tu a'r gogledd, a thri yn 20.
edrych tu a'r gorllewin, a thri yn edrych tu
a'r dehau, a thri yn edrych tu a'r dwyrain:
a'r môr arnynt oddi arnodd, a'u pennau ol
hwynt oll o fewn.
26 Ei dewder hefyd *oedd* ddyrnfedd, a'i
ymyl fel gwaith ymyl cwppan, *a* blodeu
lili: [n] dwy fil o bathau a annai ynddo. [n] Edrych
27 ¶ Hefyd efe a wnaeth ddeg o ystolion 2 Chron. 4.
pres; pedwar cufydd *oedd* hŷd pob ystôl, a 5.
phedwar cufydd ei lled, a thri chufydd ei
huchder.
28 A dyma waith yr ystolion: ystlysau
*oedd* iddynt, a'r ystlysau *oedd* rhwng y dellt-
enau:
29 Ac ar yr ystlysau *oedd* rhwng y dellt-
enau, *yr oedd* llewod, ychen, a cherubiaid;
ac ar y dellt *yr oedd* ystôl oddi arnodd; ac
oddi tan y llewod a'r ychen *yr oedd* cyssyll-
tiadau o waith tenau.
30 A phedair olwyn bres *oedd* i bob ystôl,
a phlangciau pres; ac yn eu pedair congl
*yr oedd* ysgwyddau iddynt: dan y noe *yr
oedd* ysgwyddau, wedi eu toddi ar gyfer pob
cyssylltiad.
31 A'i genau oddi fewn y cwmpas, ac
oddi arnodd, *oedd* gufydd; a'i genau hi
*oedd* grwn, ar waith yr ystôl, yn gufydd a
hanner; ac ar ei hymyl hi *yr oedd* cerfiadau,
a'i hystlysau yn bedwar ochrog, nid yn
grynion.
32 A'r pedair olwyn *oedd* dan yr ystlys-
au, ac echelau'r olwynion yn yr ystôl; ac
uchder pob olwyn yn gufydd a hanner cu-
fydd.
33 Gwaith yr olwynion *hefyd oedd* fel
gwaith olwynion menn; eu hechelau, a'u
bothau, a'u cammegau, a'u hadenydd, *oedd*
oll yn doddedig.
34 Ac *yr oedd* pedair ysgwydd wrth be-
dair congl pob ystôl: o'r ystôl *yr oedd* ei
hysgwyddau hi.
35 Ac ar ben yr ystôl *yr oedd* cwmpas o
amgylch, o hanner cufydd o uchder; ar ben
yr ystôl hefyd *yr oedd* ei hymylau a'i tha-
leithiau o'r un.
36 Ac efe a gerfiodd ar ystyllod ei hymy-
lau hi, ac ar ei thaleithiau hi, gerubiaid,
llewod, a phalmwŷdd, wrth noethder pob
un, a chyssylltiadau oddi amgylch.
37 Fel hyn y gwnaeth efe y deg ystôl:
un doddiad, un fesur, *ac* un agwedd, *oedd*
iddynt hwy oll.
38 ¶ [o] Gwnaeth hefyd ddeng noe bres; [o] 2 Chron.
deugain bath a ddaliai pob noe; yn bedwar 4. 6.

cufydd bob noe; *ac* un noe ar bob un o'r
deg ystôl.
† Heb. *ysgwydd.* 39 Ac efe a osododd bum ystôl ar † ystlys
ddehau y tŷ, a phump ar yr ystlys aswy i'r
tŷ: a'r môr a osododd efe ar y tu dehau i'r
tŷ, tu a'r dwyrain, ar gyfer y dehau.
‡ Heb. *Hirom.* 40 ¶ Gwnaeth ‡ Hiram hefyd y noeau,
Edrych a'r rhawiau, a'r cawgiau: a Hiram a or-
adn. 13. phenodd wneuthur yr holl waith, yr hwn a
wnaeth efe i'r brenhin Salomon *yn* nhŷ'r
ARGLWYDD.
41 Y ddwy golofn, a'r cnapiau coronog
y rhai *oedd* ar ben y ddwy golofn; a'r ddau
p Adn. 17, [p] rwydwaith, i guddio'r ddau gnap coronog
18. *oedd* ar ben y colofnau;
42 A phedwar cant o bomgranadau i'r
ddau rwydwaith, dwy res o bomgranadau
i un rhwydwaith, i guddio'r ddau gnap
§ Neu, coronog *oedd* ar § y colofnau;
*wyneb y colofnau.* 43 A'r deg ystôl, a'r deg noe ar yr
ystolion;
44 Ac un môr, a deuddeg o ychen dan y
môr;
45 A'r crochanau, a'r rhawiau, a'r cawg-
iau; a'r holl lestri a wnaeth Hiram i'r
brenhin Salomon, i dŷ'r ARGLWYDD, *oedd*
*o* bres gloyw.
46 Yngwastadedd yr Iorddonen y todd-
‖ Heb. odd y brenhin hwynt ‖ mewn cleidir, rhwng
*yn nhewdwr y tir.* Succoth a Sarthan.
47 A Salomon a beidiodd *â phwyso*'r holl
lestri, o herwydd eu lliosowgrwydd an-
† Heb. feidrol hwynt: ac ni † wybuwyd pwys y
*chwiliwyd.* pres chwaith.
48 A Salomon a wnaeth yr holl ddodrefn
*a berthynai* i dŷ'r ARGLWYDD: yr allor
q Exod. 25. aur, a'r bwrdd aur, yr hwn *yr oedd* [q] y bara
30. gosod arno;
49 A phum canhwyllbren o'r *tu* dehau,
a phump o'r *tu* aswy, o flaen y gafell, yn
aur pur; a'r blodeu, a'r llusernau, a'r
gefelliau, *o* aur;
50 Y phïolau *hefyd*, a'r saltringau, a'r
‡ Heb. cawgiau, a'r llwyau, a'r ‡ thusserau, *o* aur
*pedyll* coeth; a bachau dorau'r tŷ, o fewn y
*lludw.* cyssegr sancteiddiaf, *a* dorau tŷ'r deml,
*oedd* aur.
51 Felly y gorphenwyd yr holl waith a
wnaeth y brenhin Salomon i dŷ'r AR-
r 2 Sam. 8. GLWYDD. A Salomon a ddug i mewn [r] yr
11. hyn a gyssegrasai Dafydd ei dad; yr arian,
2 Chron. 5. a'r aur, a'r dodrefn, a roddodd efe ym mhlith
1. trysorau tŷ'r ARGLWYDD.

## PEN. VIII.

Mai 2. B. 1 *Gwyl cyssegriad y deml.* 12, 55 *Bendith*
*Salomon,* 22 *a'i weddi,* 62 *a'i hedd-aberth.*

1004. YNA [a] Salomon a gasglodd henuriaid Is-
a 2 Chron. rael, a holl bennau y llwythau, a thy-
5. 2. wysogion tadau meibion Israel, at y bren-
hin Salomon, yn Jerusalem, i ddwyn i fynu
b 2 Sam. 5. arch cyfammod yr ARGLWYDD o [b] ddinas
9. a 6. 12, Dafydd, honno *yw* Sïon.
17. 2 A holl wŷr Israel a ymgynhullasant at
y brenhin Salomon, ar yr wyl, ym mis
Ethanim, hwnnw *yw*'r seithfed mis.
3 A holl henuriaid Israel a ddaethant, a'r
offeiriaid a godasant yr arch i fynu.
4 A hwy a ddygasant i fynu arch yr
ARGLWYDD, a phabell y cyfarfod, a holl
lestri'r cyssegr y rhai *oedd* yn y babell,
a'r offeiriaid a'r Lefiaid a'u dygasant hwy
i fynu.
5 A'r brenhin Salomon, a holl gynnull-
eidfa Israel, y rhai a ymgynhullasai atto ef,
*oedd* gyd ag ef o flaen yr arch, yn aberthu
defaid, a gwartheg, y rhai ni rifid ac ni chy-
frifid gan liosowgrwydd.
6 Felly'r offeiriaid a ddygasant arch cyf-
ammod yr ARGLWYDD i'w lle ei hun, i
gafell y tŷ, i'r cyssegr sancteiddiaf, dan
adenydd y cerubiaid.
7 Canys y cerubiaid oedd yn lledu *eu*
hadenydd dros le'r arch; a'r cerubiaid a
orchuddient yr arch, a'i barrau oddi ar-
nodd.
8 A'r barrau a estynasant, fel y gwelid
pennau'r barrau o'r † cyssegr o flaen y † Neu,
gafell, ond ni's gwelid oddi allan: yno y *arch.*
maent hwy hyd y dydd hwn. 2 Chron. 5.
9 [c] Nid *oedd* dim yn yr arch [d] ond y 9.
ddwy lech faen a osodasai Moses yno yn c Exod. 25.
Horeb, ‡ lle [e] y cyfammododd yr AR- 21.
GLWYDD â meibion Israel, pan oeddynt Deut. 10. 2.
yn dyfod o wlad yr Aipht. Heb. 9. 4.
10 A phan ddaeth yr offeiriaid allan o'r d Deut. 10.
cyssegr, [f] y cwmmwl a lanwodd dŷ'r AR- 5.
GLWYDD, ‡ Neu,
11 Fel na allai'r offeiriaid sefyll i wasa- *pan gyfammododd.*
naethu, o herwydd y cwmmwl: canys go- e Exod. 34.
goniant yr ARGLWYDD a lanwasai dŷ'r 27, 28.
ARGLWYDD. Adn. 21.
12 ¶ [g] Yna y dywedodd Salomon, Yr f Exod. 40.
ARGLWYDD a ddywedodd, y preswyliai efe 34, 35.
[h] yn y tywyllwch. 2 Chron. 5.
13 Gan adeiladu yr adeiledais dŷ yn 13, 14. a 7.
breswylfod i ti; trigle i ti i aros yn dragy- 2.
wydd ynddo. g 2 Chron. 6. 1.
14 A'r brenhin a drodd ei wyneb, ac a h Lef. 16. 2.
fendithiodd holl gynnulleidfa Israel. A holl Psal. 97. 2.
gynnulleidfa Israel oedd yn sefyll.
15 Ac efe a ddywedodd, Bendigedig *fyddo*
ARGLWYDD DDUW Israel, yr hwn a lefar-
odd â'i enau wrth Ddafydd fy nhad, ac a'i
cwblhaodd â'i law, gan ddywedyd,
16 [i] Er y dydd y dygais fy mhobl Israel i 2 Sam. 7.
allan o'r Aipht, ni ddewisais ddinas o holl 6.
lwythau Israel i adeiladu tŷ, fel y byddai 2 Chron. 6.
[k] fy enw i yno: eithr [l] dewisais Ddafydd i 5.
fod ar fy mhobl Israel. k Adn. 29.
17 Ac [m] yr oedd ym mryd Dafydd fy l 2 Sam. 7. 8.
nhad adeiladu tŷ i enw ARGLWYDD DDUW m 2 Sam. 7.
Israel. 2.
18 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth 1 Chron. 17. 1.
Ddafydd fy nhad, O herwydd bod yn dy
fryd di adeiladu tŷ i'm henw i, da y gwnae-
thost fod *hynny* yn dy galon.
19 Etto nid adeiledi di y tŷ: ond dy fab
di, yr hwn a ddaw allan o'th lwynau di, efe
a adeilada y tŷ i'm henw i.
20 A'r ARGLWYDD a gywirodd ei air
a lefarodd efe; a mi a gyfodais yn lle Da-
fydd fy nhad, ac a eisteddais ar deyrngadair
Israel, megis y llefarodd yr ARGLWYDD, ac
a adeiledais dŷ i enw ARGLWYDD DDUW
Israel.
21 A mi a osodais yno le i'r arch, yr
hon *y mae* ynddi [n] gyfammod yr AR- n Adn. 9.
GLWYDD, yr hwn a gyfammododd efe
â'n tadau ni, pan ddug efe hwynt allan o
wlad yr Aipht.
22 ¶ A Salomon a safodd o flaen [o] allor o 2 Chron.
yr ARGLWYDD, yngŵydd holl gynnulleidfa 6. 12.
Israel, ac a estynodd ei ddwylaw tu a'r
nefoedd:
23 Ac efe a ddywedodd, [p] O AR- p 2 Mac. 2.
GLWYDD DDUW Israel, [q] nid *oes* DUW 8.
fel tydi, yn y nefoedd oddi uchod, nac q Exod. 15.
ar y ddaear oddi isod, [r] yn cadw cyfammod 11.
a thrugaredd â'th weision, sydd yn rhodio 2 Sam. 7. 22.
ger dy fron di â'u holl galon; r Dan. 9.
24 Yr hwn a gedwaist â'th was Dafydd 4.

fy nhad yr hyn a leferaist wrtho: traethaist hefyd â'th enau, a chwblhêaist â'th law, megis heddyw *y mae.*

25 Ac yn awr, O ARGLWYDD DDUW Israel, cadw â'th was Dafydd fy nhad yr hyn a leferaist wrtho, gan ddywedyd, [s] Ni thorrir ymaith oddi wrthyt *na byddo* gwr ger fy mron i yn eistedd ar deyrn-gadair Israel; os dy feibion a gadwant eu ffordd, i rodio ger fy mron i, megis y rhodiaist ti ger fy mron.

s 2 Sam. 7. 12, 16. Pen. 2. 4.

26 Ac yn awr, O DDUW Israel, poed gwir, attolwg, fyddo dy air a leferaist wrth dy was Dafydd fy nhad.

27 [t] Ai gwir yw, y preswylia DUW ar y ddaear? wele, y nefoedd, a nefoedd y nefoedd, ni allant dy gynnwys di; pa faint llai *y dichon* y tŷ hwn a adeiledais i?

t 2 Chron. 2. 6. Esay 66. 1. Jer. 23. 24. Act. 7. 49.

28 Etto edrych ar weddi dy was, ac ar ei ddeisyfiad ef, O ARGLWYDD fy NUW, i wrando ar y llef a'r weddi y mae dy was yn ei gweddďio heddyw ger dy fron di:

29 Fel y byddo dy lygaid yn agored tu a'r tŷ yma nos a dydd, tu a'r lle y dywedaist am dano, [u] Fy enw a fydd yno: i wrando ar y weddi a weddďio dy was yn y lle hwn.

u Deut. 12. 11.

30 Gwrando gan hynny ddeisyfiad dy was, a'th bobl Israel, pan weddďiant yn y lle hwn: clyw hefyd o le dy breswylfa, *sef* o'r nefoedd; a phan glywech, maddeu.

31 ¶ Os pecha gwr yn erbyn ei gymmydog, a [x] gofyn gantho raith, gan ei dyngu ef, a dyfod y llw o flaen dy allor di yn y tŷ hwn:

x Exod. 22. 11.

32 Yna clyw di yn y nefoedd, gwna hefyd, a barna dy weision, gan ddamnio 'r drygionus i ddwyn ei ffordd ef ar ei ben; a chan gyfiawnhâu 'r cyfiawn, trwy roddi iddo ef yn ol ei gyfiawnder.

33 ¶ [y] Pan darawer dy bobl Israel o flaen y gelyn, am iddynt bechu yn dy erbyn di, [z] os dychwelant attat ti, a chyfaddef dy enw, a gweddďio, ac ymbil â thi † yn y tŷ hwn:

y Lef. 26. 17. Deut. 28. 25.
z Lef. 26. 39, 40.
† Neu, *tu ag at.*

34 Yna gwrando di yn y nefoedd, a maddeu bechod dy bobl Israel, a dychwel hwynt i'r tir a roddaist i'w tadau hwynt.

35 ¶ [a] Pan gauer y nefoedd, fel na byddo gwlaw, o herwydd pechu o honynt i'th erbyn; os gweddďiant yn y lle hwn, a chyfaddef dy enw, a dychwelyd oddi wrth eu pechod, pan gystuddiech di hwynt:

a Lef. 26. 19. Deut. 28. 23.

36 Yna gwrando di yn y nefoedd, a maddeu bechod dy weision, a'th bobl Israel, fel y dysgech iddynt y ffordd oreu y rhodiant ynddi, a dyro wlaw ar dy dir a roddaist i'th bobl yn etifeddiaeth.

37 ¶ [b] Os bydd newyn yn y tir, os bydd haint, llosgfa, malldod, locustiaid, os bydd y lindys; pan warchaeo ei elyn arno ef, yngwlâd ei ‡ ddinasoedd, pa bla bynnag, pa glefyd bynnag, *a fyddo;*

b Lef. 26. 16, 26. Deut. 28. 21, 22, 27, 38, 42.
‡ Heb. *byrth.*

38 Pob gweddi, pob deisyfiad, a fyddo gan un dyn, *neu* gan dy holl bobl Israel, y rhai a wyddant bawb bla ei galon ei hun, ac a estynant eu dwylaw tu a'r tŷ hwn:

39 Yna gwrando di yn y nefoedd, mangre dy breswylfod, a maddeu; gwna hefyd, a dyro i bob un yn ol ei holl ffyrdd, yr hwn yr adwaenost ei galon (canys ti yn unig a adwaenost galonnau holl feibion dynion)

40 [c] Fel y'th ofnont di yr holl ddyddiau y byddont byw ar wyneb y tir a roddaist i'n tadau ni.

c Psal. 130. 4.

41 ¶ Ac am y dïeithrddyn hefyd ni *byddo* o'th bobl Israel, ond dyfod o wlad bell er mwyn dy enw;

42 (Canys clywant am dy enw mawr di, a'th law gref, â'th fraich estynedig) pan ddel a gweddďio tu a'r tŷ hwn:

43 Gwrando di yn y nefoedd, mangre dy breswylfod, a gwna yn ol yr hyn oll a'r a lefo y dïeithrddyn arnat am dano: fel yr adwaeno holl bobl y ddaear dy enw di, i'th ofni di, fel *y mae* dy bobl Israel, ac y gwypont § mai ar dy enw di y gelwir y tŷ hwn a adeiledais i.

§ Heb. *y gelwir dy enw di ar y tŷ hwn.*

44 ¶ Os â dy bobl di allan i ryfel yn erbyn eu gelyn, ar hŷd y ffordd yr anfonych hwynt, os gweddďiant ar yr ARGLWYDD *tu a* ffordd y ddinas a ddewisaist ti, a'r tŷ yr hwn a adeiledais i'th enw di:

45 Yna gwrando yn y nefoedd ar eu gweddi hwynt, ac ar eu deisyfiad, a gwna farn iddynt.

46 ¶ Os pechant i'th erbyn ([d] canys nid *oes* dyn ni phecha) a digio o honot wrthynt, a'u rhoddi hwynt o flaen eu gelynion, fel y caeth-gludont hwynt yn gaethion [e] i wlad y gelyn, ym mhell neu yn agos;

d 2 Chron. 6. 36. Diar. 20. 9. Preg. 7. 20. Iago 3. 2. 1 Ioan 1. 8, 10.
e Lef. 26. 34, 44. Deut. 28. 64.

47 Os dychwelant at eu calon yn y wlad y caeth-gludwyd hwynt iddi, a dychwelyd, ac erfyn arnat yngwlâd y rhai a'u caeth-gludasant, gan ddywedyd, [f] Pechasom, troseddasom hefyd, a gwnaethom yn annuwiol;

f Dan. 9. 5.

48 A dychwelyd attat ti â'u holl galon, ac â'u holl enaid, yngwlâd eu gelynion a'u caeth-gludasant hwynt, a [g] gweddďio arnat ti tu a'u gwlad a roddaist i'w tadau, a'r ddinas a ddewisaist, a'r tŷ a adeiledais i'th enw di:

g Dan. 6. 10.

49 Yna gwrando di yn y nefoedd, mangre dy breswylfod, eu gweddi hwynt, a'u deisyfiad, a gwna farn iddynt,

50 A maddeu i'th bobl a bechasant i'th erbyn, a'u holl gamweddau *yn* y rhai y troseddasant i'th erbyn, a phar iddynt gael trugaredd ger bron y rhai a'u caeth-gludasant, fel y trugarhaont wrthynt hwy:

51 Canys dy bobl di a'th etifeddiaeth *ydynt* hwy, y rhai a ddygaist ti allan o'r Aipht, [h] o ganol y ffwrn haiarn:

h Deut. 4. 20. Jer. 11. 4.

52 Fel y byddo dy lygaid yn agored i ddeisyfiad dy was, a deisyfiad dy bobl Israel, i wrando arnynt hwy pa bryd bynnag y galwont arnat ti.

53 Canys ti a'u neillduaist hwynt yn etifeddiaeth i ti o holl bobl y ddaear, [i] fel y lleferaist trwy law Moses dy was, pan ddygaist ein tadau ni allan o'r Aipht, O ARGLWYDD DDUW.

i Exod. 19. 5. Deut. 9. 26, 29. a 14. 2.

54 Ac wedi gorphen o Salomon weddďio ar yr ARGLWYDD yr holl weddi a'r deisyfiad yma, efe a gyfododd oddi ger bron allor yr ARGLWYDD, o ostwng ar ei liniau, ac o estyn ei ddwylaw tu a'r nefoedd.

55 Ac efe a safodd, ac a fendithiodd holl gynnulleidfa Israel â llef uchel, gan ddywedyd,

56 Bendigedig *fyddo*'r ARGLWYDD, yr hwn a roddes lonyddwch i'w bobl Israel, yn ol yr hyn oll a lefarodd efe: [k] ni syrthiodd un gair o'i holl addewidion da ef, y rhai a addawodd efe trwy law Moses ei was.

k Deut. 12. 10. Jos. 21. 45.

57 Yr ARGLWYDD ein DUW fyddo gyd â ni, fel y bu gyd â'n tadau: na wrthoded ni, ac na'n gadawed ni:

58 I ostwng ein calonnau ni iddo ef, i
rodio yn ei holl ffyrdd ef, ac i gadw ei
orchymynion ef, a'i ddeddfau, a'i farnedi-
gaethau, y rhai a orchymynodd efe i'n
tadau ni.
59 A bydded fy ngeiriau hyn, y rhai a
ddeisyfais ger bron yr ARGLWYDD, yn
agos at fy ARGLWYDD DDUW ddydd a nos,
i wneuthur barn â'i was, a barn â'i bobl Is-
† Heb. *gwaith diwrnod yn ei ddydd.* rael † beunydd, fel y byddo 'r achos:
60 Fel y gwypo holl bobl y ddaear mai 'r
[l] ARGLWYDD *sydd* DDUW, *ac* nad *oes* arall.
l Deut. 4. 35, 39. 61 Bydded gan hynny eich calon yn ber-
ffaith gyd â'r ARGLWYDD ein DUW ni, i
rodio yn ei ddeddfau ef, ac i gadw ei or-
chymynion ef, fel heddyw.
m 2 Chron. 7. 4. 62 ¶ A'r [m] brenhin a holl Israel gyd ag
ef a aberthasant aberth ger bron yr AR-
GLWYDD.
63 A Salomon a aberthodd aberth hedd,
yr hwn a offrymmodd efe i'r ARGLWYDD,
*sef* dwy fil ar hugain o wartheg, a chwech
ugain mil o ddefaid. Felly 'r brenhin a
holl feibion Israel a gyssegrasant dŷ 'r AR-
GLWYDD.
n 2 Chron. 7. 7. 64 [n] Y dwthwn hwnnw y sancteiddiodd
y brenhin ganol y cyntedd *oedd* o flaen tŷ 'r
ARGLWYDD: canys yno 'r offrymmodd efe 'r
poeth-offrymmau, a'r bwyd-offrymmau, a
brasder yr offrymmau hedd: o herwydd
o 2 Chron. 4. 1. [o] yr allor bres, yr hon *oedd* ger bron yr AR-
GLWYDD, *oedd* rŷ fechan i dderbyn y poeth-
offrymmau, a'r bwyd-offrymmau, a brasder
yr offrymmau hedd.
65 A Salomon a gadwodd y pryd hynny
wyl, a holl Israel gyd ag ef, cynnulleidfa
fawr, o ddyfodfa Hamath hyd afon yr
Aipht, ger bron yr ARGLWYDD ein DUW,
p 2 Chron. 7. 8. [p] saith o ddyddiau a saith o ddyddiau, *sef*
pedwar diwrnod ar ddeg.
q 2 Chron. 7. 9, 10. 66 [q] A'r wythfed dydd y gollyngodd efe
ymaith y bobl: a hwy a ‡ fendithiasant y
‡ Neu, *ddiolchasant i'r.* brenhin, ac a aethant i'w pebyll yn hyfryd
ac â chalon lawen, am yr holl ddaioni a
wnaethai 'r ARGLWYDD i Ddafydd ei was,
ac i Israel ei bobl.

## PEN. IX.

Mai 2. P. 1 *Ammod Duw â Salomon mewn gweledig-
aeth.* 10 *Salomon a Hiram yn anrhegu eu
gilydd.* 15 *Y cenhedloedd yn gaethion, a'r
Israeliaid yn weision parchedig, yngwaith
Salomon.* 24 *Merch Pharaoh yn symmudo
i'w thŷ.* 25 *Cyhoeddi aberthau blynyddol
Salomon.* 26 *Ei lynges ef yn cyrchu aur o
Ophir.*

Cylch 992. A [a] Phan orphenodd Salomon adeiladu
tŷ 'r ARGLWYDD, a thŷ 'r brenhin, a
a 2 Chron. 7. 11. [b] chwbl o ddymuniad Salomon yr hyn a
ewyllysiodd efe ei wneuthur;
b 2 Chron. 8. 6. 2 Yr ARGLWYDD a ymddangosodd i Sa-
c Pen. 3. 5. lomon yr ail waith, [c] fel yr ymddangosasai
iddo yn Gibeon.
3 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrtho,
Gwrandewais dy weddi di a'th ddeisyfiad
di, yr hwn a ddeisyfaist ger fy mron i: cys-
d Pen. 8. 29. segrais y tŷ yma a adeiladaist, [d] i osod fy
enw ynddo byth; [e] fy llygaid hefyd a'm ca-
e Deut. 11. 12. lon fydd yno yn wastadol.
4 Ac os rhodi di ger fy mron i, megis y
f 2 Sam. 7. 12, 16. rhodiodd Dafydd dy dad, mewn perffeith-
rwydd calon ac uniondeb i wneuthur yn ol
Pen. 2. 4. a 6. 12. yr hyn oll a orchymynais i ti, *ac* os cedwi fy
1 Chron. 22. 10. neddfau a'm barnedigaethau:
5 Yna mi a sicrhâf orsedd-faingc dy fren-
Psal. 132. 12. hiniaeth di ar Israel yn dragywydd, [f] fel y
lleferais wrth Ddafydd dy dad, gan ddy-
wedyd, Ni phalla i ti wr ar orsedd-faingc
Israel.
6 [g] Os gan ddychwelyd y dychwelwch g 2 Sam. 7.
chwi a'ch meibion oddi ar fy ol i, ac heb 14.
gadw fy ngorchymynion *a'm* deddfau, y Psal. 89.
rhai a roddais o'ch blaen chwi, eithr myned 30, &c.
a gwasanaethu duwiau dïeithr, ac ym-
grymmu iddynt hwy:
7 Yna y torraf Israel oddi ar wyneb y tir a
roddais iddynt hwy; a'r tŷ [h] hwn a gyssegr- h Jer. 7.
ais i'm henw, a fwriaf allan o'm golwg; ac 14.
Israel fydd [i] yn ddïareb ac yn wawd ym- i Deut. 28.
mysg yr holl bobloedd: 37.
8 A'r [k] tŷ uchel hwn, pawb a gynniweiro k 2 Chron.
heibio iddo, a synna wrtho, ac a chwibana; 7. 21.
dywedant hefyd, [l] Pa ham y gwnaeth yr l Deut. 29.
ARGLWYDD fel hyn i'r wlad hon, ac i'r 24.
tŷ yma? Jer. 22. 8.
9 A hwy a ddywedant, Am iddynt wrthod
yr ARGLWYDD eu DUW, yr hwn a ddug
eu tadau hwynt allan o dir yr Aipht, ac
ymaflyd mewn duwiau dïeithr, ac ymgrym-
mu iddynt, a'u gwasanaethu hwynt; am
hynny y dug yr ARGLWYDD arnynt hwy yr
holl ddrwg hyn.
10 ¶ Ac [m] ym mhen yr ugain mlynedd, 992.
[n] *wedi* adeiladu o Salomon y ddau dŷ, sef m 2 Chron.
tŷ 'r ARGLWYDD, a thŷ 'r brenhin; 8. 1.
11 (*Am* i Hiram brenhin Tyrus ddwyn i n Pen. 6.
Salomon goed cedr, a choed ffynnidwydd, 37, 38. a 7.
ac aur, yn ol ei holl ewyllys ef) y brenhin 1.
Salomon a roddes i Hiram ugain dinas yng-
wlâd Galilee.
12 A Hiram a ddaeth o Tyrus i edrych y
dinasoedd a roddasai Salomon iddo ef; ac
nid oeddynt † wrth ei fodd ef. † Heb.
13 Ac efe a ddywedodd, Pa ddinasoedd *uniawn yn*
*yw* y rhai hyn a roddaist i mi, fy mrawd? *ei olwg ef.*
Ac efe a'u galwodd hwynt Gwlad ‡ Cabul, ‡ Sef,
hyd y dydd hwn. *baw lyd.*
14 A Hiram a anfonodd i'r brenhin chwech
ugain talent o aur.
15 ¶ A dyma § swm [o] y dreth a go- § *achos.*
dodd y brenhin Salomon, i adeiladu tŷ 'r o Pen. 5.
ARGLWYDD, a'i dŷ ei hun; a [p] Milo, a 13.
mur Jerusalem, [q] Hasor, a [r] Megido, a p Adn. 24.
[s] Gezer. q Jos. 19.
16 Pharaoh brenhin yr Aipht a aethai i 36.
fynu, ac a ynnillasai Gezer, ac a'i llosgasai r Jos. 17. 11.
hi â thân, ac a laddasai y Canaaneaid oedd s Jos. 16.
yn trigo yn y ddinas, ac a'i rhoddasai hi yn 10.
anrheg i'w ferch, gwraig Salomon. Barn. 1. 29.
17 A Salomon a adeiladodd Gezer, a Cylch
[t] Beth-horon isaf, 1014.
18 A [u] Baalath, a Thadmor yn yr anial- t Jos. 21.
wch, o fewn y wlad, 22.
19 A holl ddinasoedd y trysorau y rhai u Jos. 19.
oedd gan Salomon, a dinasoedd [x] y cerbyd- 44.
au, a dinasoedd y gwŷr meirch, ‖ a'r hyn 2 Chron. 8. 6, &c.
*oedd* ewyllys gan Salomon ei adeiladu yn x Pen. 4.
Jerusalem, ac yn Libanus, ac yn holl dir ei 26.
lywodraeth. ‖ Heb.
20 Yr holl bobl *y rhai* a adawyd o'r Amo- *a dymuniad Sa-*
riaid, Hethiaid, Pereziaid, Hefiaid, a'r Je- *lomon yr*
busiaid, y rhai nid *oeddynt* o feibion Israel; *hwn a ddy-*
21 *Sef* eu meibion hwy, y rhai a [y] adawsid *munodd.*
ar eu hol hwynt yn y wlad, [z] y rhai ni y Barn. 1.
allodd meibion Israel eu lladd; ar y rhai 21, 27, 29.
hynny y cyfododd Salomon dreth [a] wriog- z Jos. 15.
aeth hyd y dydd hwn. 63. a 17. 12.
22 Ond [b] o feibion Israel ni wnaeth Sa- a Edrych Ezra 2. 55, 58.
lomon *un* yn gaeth-was: rhyfelwŷr iddo ef Neh. 11. 3.
*oeddynt*, a gweision iddo, a thywysogion b Lef. 25.
iddo, a chapteniaid iddo, a thywysogion 39.
ei gerbydau, a'i wŷr meirch.

23 Y rhai hyn *oedd* bennaf ar y swyddogion *oedd* ar waith Salomon, [c] pum cant a deg a deugain, oedd yn llywodraethu 'r bobl oedd yn gweithio yn y gwaith.

c 2 Chron. 8. 10.

24 ¶ A [d] merch Pharaoh a ddaeth i fynu o ddinas Dafydd i'w [e] thŷ ei hun, yr hwn a adeiladasai *Salomon* iddi hi: yna efe a adeiladodd [f] Milo.

d 2 Chron. 8. 11.
e Pen. 7. 8.
f Pen. 11. 27.

25 ¶ A thair gwaith yn y flwyddyn yr offrymmai Salomon boeth-offrymmau ac offrymmau hedd ar yr allor a adeiladasai efe i'r Arglwydd: ac efe a arogl-darthodd † ar *yr allor oedd* ger bron yr Arglwydd. Felly efe a orphenodd y tŷ.

2 Chron. 32. 5.
† Heb. arni hi.

26 ¶ [g] A'r brenhin Salomon a wnaeth longau yn [h] Esion-gaber, yr hon *sydd* wrth Eloth, ar fin y môr coch, yngwlâd Edom.

g 2 Chron. 8. 17.
h Num. 33. 35. Deut. 2. 8.

27 [i] A Hiram a anfonodd ei weision yn y llongau, *y rhai oedd* longwŷr yn medru *oddi wrth* y môr, gyd â gweision Salomon.

i Pen. 10. 11.

28 A hwy a ddaethant i Ophir, ac a ddygasant oddi yno bedwar cant ac ugain o dalentau aur, ac a'u dygasant at y brenhin Salomon.

## PEN. X.

Mai 3. B.

1 *Brenhines Seba yn rhyfedd ganthi ddoethineb Salomon.* 14 *Swm ei aur ef:* 16 *ei dariannau:* 18 *ei orsedd-faingc ifori:* 21 *ei lestri:* 24 *ei anrhegion:* 26 *ei gerbydau a'i farchogion:* 28 *ei deyrn-ged.*

Cylch 992.

A Phan glybu [a] brenhines Seba glod Salomon, am enw 'r Arglwydd, hi a ddaeth [b] i'w brofi ef â chwestiynau caled.

a 2 Chron. 9. 1. Mat. 12. 41. Luc 11. 31.
b Edrych Barn. 14. 12.

2 A hi a ddaeth i Jerusalem â llu mawr iawn, â chamelod yn dwyn aroglau, ac aur lawer iawn, a meini gwerthfawr. A hi a ddaeth at Salomon, ac a lefarodd wrtho ef yr hyn oedd yn ei chalon.

3 A Salomon a fynegodd iddi hi ei holl † ofynion: nid oedd *dim* yn guddiedig rhag y brenhin, a'r na fynegodd efe iddi hi.

† Heb. eiriau.

4 A phan welodd brenhines Seba holl ddoethineb Salomon, a'r tŷ a adeiladasai efe,

5 A bwyd ei fwrdd, ac eisteddiad ei weision, a threfn ei weinidogion, a'u dillad hwynt, a'i drulliadau ef, a'i esgynfa ar hŷd yr hon yr ai efe i fynu i dŷ 'r Arglwydd; nid oedd mwyach yspryd ynddi.

6 A hi a ddywedodd wrth y brenhin, Gwir yw 'r gair a glywais yn fy ngwlad am dy ymadroddion di, ac am dy ddoethineb.

7 Etto ni chredais y geiriau, nes im' ddyfod, ac i'm llygaid weled: ac wele, ni fynegasid i mi 'r hanner: ‡ mwy yw dy ddoethineb a'th ddaioni nâ 'r glod a glywais i.

‡ Heb. chwanegaist ddoethineb a daioni at y glod.

8 Gwŷn fyd dy wŷr di, gwŷn fyd dy weision hyn, y rhai sydd yn sefyll yn wastadol ger dy fron di, yn clywed dy ddoethineb.

9 Bendigedig fyddo 'r Arglwydd dy Dduw, yr hwn a'th hoffodd di, i'th roddi ar deyrn-gadair Israel: o herwydd cariad yr Arglwydd tu ag at Israel yn dragywydd, y gosododd efe di yn frenhin, i wneuthur barn a chyfiawnder.

10 A hi a roddes i'r brenhin chwech ugain talent o aur, a pher-aroglau lawer iawn, a meini gwerthfawr. Ni ddaeth y fath ber-aroglau mwyach, cyn amled a'r rhai a roddodd brenhines Seba i'r brenhin Salomon.

11 A llongau Hiram hefyd, y rhai a gludent aur o Ophir, a ddygasant o Ophir lawer iawn o § goed almugim, ac o feini gwerthfawr.

§ 2 Chron. 2. 8. a 9. 10, 11, algumimwydd.

12 [c] A'r brenhin a wnaeth o'r coed almugim annelau i dŷ 'r Arglwydd, ac i dŷ 'r brenhin, a thelynau a psaltringau i gantorion. Ni ddaeth y fath goed almugim, ac ni welwyd hyd y dydd hwn.

c 2 Chron. 9. 11.

13 A'r brenhin Salomon a roddes i frenhines Seba ei holl ddymuniad, yr hyn a ofynodd hi, heb law 'r hyn a roddodd Salomon iddi hi ‖ o'i frenhinol haelioni. Felly hi a ddychwelodd ac a aeth i'w gwlad, hi a'i gweision.

‖ Heb. yn ol llaw brenhin Salomon.

14 ¶ A phwys yr aur a ddeuai i Salomon bob blwyddyn, oedd chwe chant a thri ugain a chwech o dalentau aur;

15 Heb law 'r *hyn a gai efe* gan y marchnadwŷr, ac o farsiandïaeth y llysieuwŷr, a chan holl frenhinoedd Arabia, a thywysogion y wlad.

16 ¶ A'r brenhin Salomon a wnaeth ddau gant o dariannau aur † dilin; chwe chan *sicl* o aur a roddodd efe ym mhob tarian:

† dilyfn.

17 [d] A thri chant o fwcledi *o* aur dilin; ‡ tair punt o aur a roddes efe ym mhob bwcled. A'r brenhin a'u rhoddes hwynt yn [e] nhŷ coedwig Libanus.

d Pen. 14. 26.
‡ tri-phwys.
e Pen. 7. 2.

18 ¶ [f] A'r brenhin a wnaeth orsedd-faingc fawr o ifori, ac a'i gwisgodd hi ag aur o'r goreu.

f 2 Chron. 9. 17.

19 Chwech o risiau *oedd* i'r orsedd-faingc; a phen crwn *oedd* i'r orsedd-faingc o'r tu ol iddi, a chanllawiau o bob tu i'r eisteddle, a dau lew yn sefyll yn ymyl y canllawiau.

20 A deuddeg o lewod oedd yn sefyll yno ar y chwe gris o'r ddeutu. Ni wnaethpwyd § y fath yn un deyrnas.

§ Heb. felly.

21 ¶ A holl lestri yfed y brenhin Salomon *oedd o* aur; a holl lestri tŷ coedwig Libanus *oedd* aur pur: nid *oedd* arian *ynddynt.* Ni roddid dim bri arno yn nyddiau Salomon.

22 O herwydd llongau Tharsis *oedd* gan y brenhin ar y môr, gyd â llongau Hiram. Unwaith yn y tair blynedd y deuai llongau Tharsis, yn dwyn aur, ac arian, ac ‖ ifori, ac eppaod, a pheunod.

‖ Neu, elephantiaid.

23 [g] A'r brenhin Salomon a ragorodd ar holl frenhinoedd y ddaear, mewn cyfoeth a doethineb.

g Pen. 3. 12, 13.

24 ¶ A'r holl fyd oedd yn ceisio *gweled* wyneb Salomon, i glywed ei ddoethineb ef, a roddasai Duw yn ei galon ef.

25 A hwy a ddygasant bob un ei anrheg, llestri arian, a llestri aur, a gwisgoedd, ac arfau, a pher-aroglau, meirch, a mulod, dogn bob blwyddyn.

26 ¶ [h] A Salomon [i] a gasglodd gerbydau, a marchogion: ac yr oedd ganddo fil a phedwar cant o gerbydau, a deuddeng mil o farchogion; y rhai a osododd efe yn ninasoedd y cerbydau, a chyd â'r brenhin yn Jerusalem.

h Pen. 4. 26. 2 Chron. 1. 14. a 9. 25.
i Deut. 17. 16.

27 A'r brenhin a † wnaeth yr arian yn Jerusalem fel cerrig, a'r cedrwŷdd a wnaeth efe fel sycomorwŷdd yn y dol-dir, o amldra.

† Heb. roddes.

28 ¶ [k] A ‡ meirch a ddygid i Salomon o'r Aipht, ac edafedd llin: marchnadyddion y brenhin a gymmerent yr edafedd llin dan bris.

k 2 Chron. 1. 16. a 9. 28.
‡ Heb. mynediad y meirch oedd gan Salomon.

29 A cherbyd a ddeuai i fynu ac a ai
allan o'r Aipht am chwe chan *sicl* o arian,
a march am gant a deg a deugain: ac fel hyn
¹ Jos. 1. 4. i holl frenhinoedd yr Hethiaid, ¹ ac i fren-
2 Bren. 7. 6. hinoedd Syria, y dygent hwy *feirch* trwy eu
llaw hwynt.

PEN. XI.

Mai 3. P. 1 *Gwragedd a gordderchadon Salomon.* 4 *Y*
*rhai hynny yn ei henaint yn ei dynnu ef i*
*gau-dduwiaeth.* 9 *Duw yn ei fygwth ef.*
14 *Gwrthwynebwyr Salomon oedd, Hadad,*
*a aeth i'r Aipht;* 23 *Rezon, a deyrnasodd yn*
*Damascus;* 26 *a Jeroboam, i'r hwn y pro-*
*phwydodd Ahïah.* 41 *Gweithredoedd, a*
*theyrnasiad, a marwolaeth Salomon.* 43 *Re-*
*hoboam yn teyrnasu ar ei ol ef.*

Cylch 992. OND ᵃ y brenhin Salomon a garodd ᵇ
lawer o wragedd dïeithr († heb law
ᵃ Neh. 13. 26. merch Pharaoh) Moabeesau, Ammoneesau,
Edomeesau, Sidoneesau, *a* Hetheesau;
ᵇ Deut. 17. 17. 2 O'r cenhedloedd *am* y rhai y dywedasai'r
Eccl. 47. 1. ARGLWYDD wrth feibion Israel, ᶜ Nac
† Neu, *gyd â.* ewch i mewn attynt hwy, ac na ddeuant
hwythau i mewn attoch chwi: diau y
ᶜ Exod. 34. 16. troant eich calonnau chwi ar ol eu duwiau
Deut. 7. 3. hwynt. Wrthynt hwy y glynodd Salomon
mewn cariad.
3 Ac yr oedd ganddo ef saith gant o
wragedd, yn frenhinesau; a thri chant o
ordderch-wragedd: a'i wragedd a droisant
ei galon ef.
Cylch 984. 4 A phan heneiddiodd Salomon, ei wrag-
edd a droisant ei galon ef ar ol duwiau dï-
eithr: ac nid oedd ei galon ef berffaith
gyd â'r ARGLWYDD ei DDUW, fel *y buasai*
calon Dafydd ei dad ef.
ᵈ Barn. 2. 13. 5 Canys Salomon a aeth ar ol ᵈ Astoreth
2 Bren. 23. 13. duwies y Sidoniaid, ac ar ol ‡ Milcom
ffieidd-dra'r Ammoniaid.
‡ A elwir *Moloch,* adn. 7. 6 A Salomon a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg yngolwg yr ARGLWYDD; ac ni chy-
flawnodd *fyned* ar ol yr ARGLWYDD, fel
Dafydd ei dad.
7 Yna Salomon a adeiladodd uchelfa i
ᵉ Num. 21. 29. ᵉ Chemos, ffieidd-dra Moab, yn ᶠ y bryn
Barn. 11. 24. *sydd* ar gyfer Jerusalem; ac i Moloch, ffi-
eidd-dra meibion Ammon.
ᶠ 2 Bren. 23. 13. 8 Ac felly y gwnaeth efe i'w holl wragedd
dïeithr, y rhai a arogl-darthasant ac a aber-
thasant i'w duwiau.
9 ¶ A'r ARGLWYDD a ddigiodd wrth
Salomon, o herwydd troi ei galon ef oddi
ᵍ Pen. 3. 5. a 9. 2. wrth ARGLWYDD DDUW Israel, ᵍ yr hwn
a ymddangosasai iddo ef ddwy waith,
ʰ Pen. 6. 12. 10 Ac ʰ a orchymynasai iddo am y peth
hyn, nad elai efe ar ol duwiau dïeithr: ond
ni chadwodd efe yr hyn a orchymynasai'r
ARGLWYDD.
11 Am hynny y dywedodd yr ARGLWYDD
wrth Salomon, O herwydd bod hyn ynot ti,
ac na chedwaist fy nghyfammod a'm deddfau
ⁱ Adn. 31. a orchymynais i ti; ⁱ gan rwygo y rhwygaf
Pen. 12. 15. y frenhiniaeth oddi wrthyt ti, ac a'i rhoddaf
hi i'th was di.
12 Etto yn dy ddyddiau di ni wnaf hyn,
er mwyn Dafydd dy dad: o law dy fab di
y rhwygaf hi.
13 Ond ni rwygaf yr holl frenhiniaeth;
un llwyth a roddaf i'th fab di, er mwyn
Dafydd fy ngwas, ac er mwyn Jerusalem yr
hon a etholais.
14 ¶ A'r ARGLWYDD a gyfododd wrth-
wynebwr i Salomon, Hadad yr Edomiad. O
ᵏ 2 Sam. 8. 14. had y brenhin yn Edom *yr oedd* efe.
1 Chron. 18. 12, 13. 15 ᵏ Canys pan oedd Dafydd yn Edom,
*a* Joab tywysog y filwriaeth yn myned i
fynu i gladdu'r lladdedigion, ˡ wedi iddo ˡ Num. 24. 19.
daro pob gwrryw yn Edom; Deut. 20. 13.
16 (Canys chwe mis yr arhosodd Joab
yno â holl Israel, nes difetha pob gwrryw
yn Edom)
17 Yr Hadad hwnnw a ffodd, a gwŷr
Edom o weision ei dad gyd ag ef, i fyned i'r
Aipht; a Hadad yn fachgen bychan etto.
18 A hwy a gyfodasant o Midian, ac a
ddaethant i Paran: ac a gymmerasant wŷr
gyd â hwynt o Paran, ac a ddaethant i'r
Aipht, at Pharaoh brenhin yr Aipht; ac efe
a roddes iddo ef dŷ, ac a ddywedodd *am*
*roddi* bwyd iddo, ac a roddodd dir iddo.
19 A Hadad a gafodd ffafr fawr yngolwg
Pharaoh, ac efe a roddes iddo ef yn wraig
chwaer ei wraig ei hun, chwaer Tahpenes y
frenhines.
20 A chwaer Tahpenes a ymddûg iddo ef
Genubath ei fab; a Thahpenes a'i diddyfn-
odd ef yn nhŷ Pharaoh: a Genubath fu yn
nhŷ Pharaoh ym mysg meibion Pharaoh.
21 A phan glybu Hadad yn yr Aipht,
huno o Ddafydd gyd â'i dadau, a marw o
Joab tywysog y filwriaeth, Hadad a ddy-
wedodd wrth Pharaoh, § Gollwng fi, fel yr § Heb. *Anfon fi ymaith.*
elwyf i'm gwlad fy hun.
22 A dywedodd Pharaoh wrtho ef, Ond
pa beth sydd arnat ei eisiau gyd â mi, pan
wyt, wele, yn ceisio myned i'th wlad dy
hun? Ac efe a ddywedodd, Dim; eithr gan
ollwng gollwng fi.
23 ¶ A DUW a gyfododd wrthwynebwr
*arall* yn ei erbyn ef, Rezon fab Eliada, yr
hwn a ffoisai oddi wrth Hadadezer brenhin
Sobah ei arglwydd:
24 Ac efe a gynhullodd wŷr atto, ac a
aeth yn dywysog ar fyddin, ᵐ pan laddodd ᵐ 2 Sam.
Dafydd hwynt *o Sobah*; a hwy a aethant i 8. 3. a 10.
Ddamascus, ac a drigasant ynddi, ac a deyr- 18.
nasasant yn Damascus.
25 Ac yr oedd efe yn wrthwynebwr i
Israel holl ddyddiau Salomon, heb law y
drwg *a wnaeth* Hadad: ac efe a ffieiddiodd
Israel, ac a deyrnasodd ar Syria.
26 ¶ A ⁿ Jeroboam mab Nebat, Ephra- ⁿ 2 Chron.
tead o Seredah (ac enw ei fam ef *oedd* Ser- 13. 6.
fah, *yr hon oedd* wraig weddw) gwas i Salo-
mon, a ddyrchafodd hefyd ei law yn erbyn
y brenhin.
27 Ac o achos hyn y dyrchafodd efe *ei*
law yn erbyn y brenhin: ᵒ Salomon a ᵒ Pen. 9.
adeiladodd Milo, *ac* a gauodd adwyau dinas 24.
Dafydd ei dad.
28 A'r gwr Jeroboam *oedd* rymmus o
nerth: a Salomon a ganfu'r llangc hwn-
nw yn *medru* gwneuthur gwaith, ac a'i
gwnaeth ef yn oruchwyliwr ar holl ‖ faich ‖ *waith.*
tŷ Joseph.
29 A'r pryd hynny, a Jeroboam yn Cylch 980.
myned allan o Jerusalem, y prophwyd
Ahïah y Siloniad a'i cafodd ef ar y ffordd,
ac efe oedd wedi ei wisgo mewn gwisg
newydd, a hwynt ill dau *oeddynt* yn unig
yn y maes.
30 Ac Ahïah a ymaflodd yn y wisg ne-
wydd *oedd* am dano ef, ac ᵖ a'i rhwygodd ᵖ Edrych
*yn* ddeuddeg o ddarnau. 1 Sam. 15. 27. a 24. 5.
31 Ac efe a ddywedodd wrth Jeroboam,
Cymmer i ti ddeg darn: canys ᵠ fel hyn y ᵠ Adn. 11.
dywed yr ARGLWYDD, DUW Israel, Wele
fi yn rhwygo'r frenhiniaeth o law Salomon,
a rhoddaf ddeg llwyth i ti:
32 (Ond un llwyth fydd iddo ef, er mwyn
fy ngwas Dafydd, ac er mwyn Jerusalem, y
ddinas a etholais i o holl lwythau Israel)

33 Oblegid iddynt fy ngwrthod i, ac ymgrymmu i Astoreth duwies y Sidoniaid, *ac* i Chemos duw y Moabiaid, ac i Milcom duw meibion Ammon, ac na rodiasant yn fy ffyrdd i, i wneuthur *yr hyn oedd* union yn fy ngolwg i, ac *i wneuthur* fy neddfau a'm barnedigaethau, fel Dafydd ei dad.

34 Ond ni chymmeraf yr holl frenhiniaeth o'i law ef: eithr gwnaf ef yn dywysog holl ddyddiau ei einioes, er mwyn Dafydd fy ngwas, yr hwn a ddewisais i, yr hwn a gadwodd fy ngorchymynion a'm deddfau i:

[r] Pen. 12. 15.

35 Eithr [r] cymmeraf yr holl frenhiniaeth o law ei fab ef, a rhoddaf *o* honi i ti ddeg llwyth.

[s] 1 Bren. 15. 4. 2 Bren. 8. 19. Psal. 132. 7.
† Heb. *canwyll, neu, lamp.*

36 Ac i'w fab ef y rhoddaf un llwyth; fel [s] y byddo † goleuni i'm gwas Dafydd yn wastadol ger fy mron yn Jerusalem, y ddinas a ddewisais i mi i osod fy enw yno.

37 A thi a gymmeraf fi, fel y teyrnasech yn ol yr hyn oll a ddymuno dy galon; a thi a fyddi frenhin ar Israel.

38 Ac os gwrandewi di ar yr hyn oll a orchymynwyf i ti, a rhodio yn fy ffyrdd i, a gwneuthur *yr hyn sydd* union yn fy ngolwg i, i gadw fy neddfau a'm gorchymynion, fel y gwnaeth Dafydd fy ngwas; yna mi a fyddaf gyd â thi, ac a adeiladaf i ti dŷ sicr, fel yr adeiledais i Dafydd, a mi a roddaf Israel i ti.

39 A mi a gystuddiaf had Dafydd oblegid hyn; etto nid yn dragywydd.

40 Am hynny Salomon a geisiodd ladd Jeroboam. A Jeroboam a gyfododd, ac a ffodd i'r Aipht, at Sisac brenhin yr Aipht; ac efe a fu yn yr Aipht hyd farwolaeth Salomon.

[t] 2 Chron. 9. 29.
‡ Neu, *eiriau, neu, bethau.*

41 ¶ [t] A'r rhan arall o ‡ weithredoedd Salomon, a'r hyn oll a wnaeth efe, a'i ddoethineb ef, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr gweithredoedd Salomon?

[u] 2 Chron. 9. 30.

42 A'r dyddiau y teyrnasodd Salomon yn Jerusalem, ar holl Israel, *oedd* [u] ddeugain mlynedd.

975.
[x] A elwir *Roboam,* Mat. 1. 7.

43 A Salomon a hunodd gyd â'i dadau, ac a gladdwyd yn ninas Dafydd ei dad; a [x] Rehoboam ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PEN. XII.

Mai 4. B.

1 *Yr Israeliaid wedi ymgasglu yn Sichem i goroni Rehoboam, trwy Jeroboam yn ceisio rhyddhâd ganddo.* 6 *Rehoboam yn gwrthod cyngor yr henafgwŷr, a thrwy gyngor y gwŷr ieuaingc, yn eu hatteb hwy yn arw.* 16 *Deg llwyth yn gwrthryfela, ac yn lladd Adoram, ac yn gyrru Rehoboam i ffoi.* 21 *Rehoboam yn casglu llu, a Semaiah yn gwarafun iddo.* 25 *Jeroboam yn ymgadarnhâu â threfydd,* 26 *a thrwy ddelw-addoliaeth y ddau lo.*

975.
[a] 2 Chron. 10. 1.

YNA [a] Rehoboam a aeth i Sichem: canys i Sichem y daethai holl Israel i'w urddo ef yn frenhin.

[b] Pen. 11. 40.

2 A phan glybu Jeroboam mab Nebat, ac efe etto yn yr Aipht (canys [b] efe a ffoisai o ŵydd Salomon y brenhin, a Jeroboam a arhosasai yn yr Aipht)

3 Hwy a anfonasant, ac a alwasant arno ef. A Jeroboam a holl gynnulleidfa Israel a ddaethant, ac a ymddiddanasant â Rehoboam, gan ddywedyd,

[c] Pen. 4. 7.

4 Dy dad di a wnaeth ein [c] hiau ni yn drom: ac yn awr ysgafnhâ *beth* o gaethiwed caled dy dad, ac o'i iau drom ef a roddodd efe arnom ni, ac ni a'th wasanaethwn di.

5 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch etto dridiau; yna dychwelwch attaf fi. A'r bobl a aethant ymaith.

6 ¶ A'r brenhin Rehoboam a ymgynghorodd â'r henuriaid a fuasai yn sefyll ger bron Salomon ei dad ef, tra yr ydoedd efe yn fyw, ac a ddywedodd, Pa fodd yr ydych chwi yn cynghori atteb i'r bobl hyn?

7 A hwy a lefarasant wrtho ef, gan ddywedyd, Os byddi di heddyw was i'r bobl hyn, a'u gwasanaethu hwynt, a'u hatteb hwynt, a llefaru wrthynt eiriau teg; yna y byddant weision i ti byth.

8 Ond efe a wrthododd gyngor yr henuriaid, yr hwn a gynghorasent iddo ef; ac efe a ymgynghorodd â'r gwŷr ieuaingc a gynnyddasai gyd ag ef, a'r rhai oedd yn sefyll ger ei fron ef:

9 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Beth yr ydych chwi yn ei gynghori, fel yr attebom y bobl hyn, y rhai a lefarasant wrthyf, gan ddywedyd, Ysgafnhâ 'r iau a roddodd dy dad arnom ni?

10 A'r gwŷr ieuaingc, y rhai a gynnyddasent gyd ag ef, a lefarasant wrtho, gan ddywedyd, Fel hyn y dywedi di wrth y bobl yma, y rhai a lefarasant wrthyt, gan ddywedyd, Dy dad di a drymhaodd ein hiau ni, ond ysgafnhâ di *hi* arnom ni; fel hyn y lleferi di wrthynt; Fy *mys* bach *fydd* breisgach nâ llwynau fy nhad.

11 Ac yn awr fy nhad a'ch llwythodd â iau drom, a minnau a 'chwanegaf ar eich iau chwi: fy nhad a'ch cospodd chwi â ffrewyllau, a mi a'ch cospaf chwi ag ysgorpionau.

12 ¶ A daeth Jeroboam a'r holl bobl at Rehoboam y trydydd dydd, fel y llefarasai 'r brenhin, gan ddywedyd, Dychwelwch attaf fi y trydydd dydd.

13 A'r brenhin a attebodd y bobl yn † arw, ac a wrthododd gyngor yr henuriaid a gynghorasent hwy iddo; † Heb. *galed.*

14 Ac a lefarodd wrthynt hwy yn ol cyngor y gwŷr ieuaingc, gan ddywedyd, Fy nhad a wnaeth eich iau chwi yn drom, a minnau a 'chwanegaf ar eich iau chwi: fy nhad a'ch ceryddodd chwi â ffrewyllau, a minnau a'ch ceryddaf chwi ag ysgorpionau.

15 Ac ni wrandawodd y brenhin ar y bobl. O herwydd [d] yr achos oedd oddi wrth yr ARGLWYDD, fel y cwblhâid [e] ei air ef, yr hwn a lefarasai 'r ARGLWYDD trwy law Ahiah y Siloniad wrth Jeroboam fab Nebat. [d] Barn. 14. 4. Adn. 24. 2 Chron. 10. 15. a 22. 7. a 25. 20.

16 ¶ A phan welodd holl Israel na wrandawai 'r brenhin arnynt hwy, y bobl a attebasant y brenhin, gan ddywedyd, [f] Pa ran *sydd* i ni yn Dafydd? nid *oes i ni* etifeddiaeth ym mab Jesse: O Israel, *dos* i'th bebyll; edrych yn awr *ar* dy dŷ dy hun, Dafydd. Felly Israel a aethant i'w pebyll. [e] Pen. 11. 11, 31. [f] 2 Sam. 20. 1.

17 Ond [g] meibion Israel, y rhai oedd yn preswylio yn ninasoedd Judah, Rehoboam a deyrnasodd arnynt hwy. [g] Pen. 11. 32.

18 A'r brenhin Rehoboam a anfonodd Adoram, yr hwn *oedd* ar y dreth; a holl Israel a'i llabyddiasant ef â meini, fel y bu efe farw. Am hynny 'r brenhin Rehoboam a ‡ brysurodd i fyned i'w gerbyd, i ffoi i Jerusalem. ‡ Heb. *ymgryfhaodd.* [h] 2 Bren. 17. 21.

19 Felly [h] Israel a § wrthryfelasant yn erbyn tŷ Ddafydd hyd y dydd hwn. § Neu, *gwrthryfelasant oddi wrth dŷ Ddafydd.*

20 A phan glybu holl Israel ddychwelyd o Jeroboam, hwy a anfonasant ac a'i galw-

asant ef at y gynnulleidfa, ac a'i gosodasant
ef yn frenhin ar holl Israel: nid oedd *yn*
*myned* ar ol tŷ Ddafydd, ond llwyth Judah
i Pen. 11. 13. 32. i yn unig.
21 ¶ A k phan ddaeth Rehoboam i Jeru-
k 2 Chron. 11. 1. salem, efe a gasglodd holl dŷ Judah, a llwyth
Benjamin, cant a phedwar ugain mil *o wŷr*
dewisol, cymmwys i ryfel, i ymladd yn er-
byn tŷ Israel, i ddwyn drachefn y frenhin-
iaeth i Rehoboam fab Salomon.
l 2 Chron. 11. 2. 22 Ond l gair Duw a ddaeth at Semaiah
gwr Duw, gan ddywedyd,
23 Adrodd wrth Rehoboam fab Salomon
brenhin Judah, ac wrth holl dŷ Judah a Ben-
jamin, a gweddill y bobl, gan ddywedyd,
24 Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD,
Nac ewch i fynu, ac nac ymleddwch yn er-
byn eich brodyr meibion Israel; dychwelwch
m Adn. 15. bob un i'w dŷ ei hun: m canys trwof fi y
mae'r peth hyn. A hwy a wrandawsant ar
air yr ARGLWYDD, ac a ddychwelasant i
fyned ymaith, yn ol gair yr ARGLWYDD.
n Edrych Barn. 9. 45. 25 ¶ Yna Jeroboam a adeiladodd n Si-
chem ym mynydd Ephraim, ac a drigodd
ynddi hi; ac a aeth oddi yno, ac a adeilad-
o Barn. 8. 17. odd o Penuel.
26 A Jeroboam a feddyliodd yn ei galon,
Yn awr y dychwel y frenhiniaeth at dŷ
Ddafydd.
27 Os â'r bobl hyn i fynu i wneuthur
aberthau yn nhŷ'r ARGLWYDD yn Jerusa-
lem, yna y try calon y bobl hyn at eu har-
glwydd Rehoboam brenhin Judah, a hwy
a'm lladdant i, ac a ddychwelant at Reho-
boam brenhin Judah.
28 Yna'r brenhin a ymgynghorodd, ac
p 2 Bren. 17. 16. p a wnaeth ddau lo aur, ac a ddywedodd
wrthynt hwy, Gormod yw i chwi fyned i
q Exod. 32. 4, 8. fynu i Jerusalem: q wele dy dduwiau di,
O Israel, y rhai a'th ddug di i fynu o wlad
yr Aipht.
r Hos. 4. 15. 29 Ac efe a osododd un yn r Bethel, ac a
osododd y llall yn Dan.
30 A'r peth hyn a aeth yn bechod: oble-
gid y bobl a aethant ger bron y naill hyd
Ddan.
s Pen. 13. 33. 31 Ac efe a wnaeth dŷ uchelfeydd, ac s a
2 Bren. 17. 32. wnaeth offeiriaid o'r rhai gwaelaf o'r bobl, y
rhai nid oedd o feibion Lefi.
2 Chron. 11. 15. 32 A Jeroboam a wnaeth uchel-ŵyl yn
Ezec. 44. 7, 8. yr wythfed mis, ar y pymthegfed dydd o'r
mis, fel t yr uchel-ŵyl *oedd* yn Judah; ac efe a
t Lef. 23. 33. † offrymmodd ar yr allor (felly y gwnaeth
Num. 29. 12. efe yn Bethel) ‡ gan aberthu i'r lloi a
wnaethai efe: ac efe a osododd yn Beth-
† Neu, *aeth i fynu at yr.* el offeiriaid yr uchelfaoedd a wnaethai
efe.
‡ Neu, *i aberthu.* 33 Ac efe a § offrymmodd ar yr allor a
wnaethai efe yn Bethel, y pymthegfed dydd
§ Neu, *aeth i fynu at yr allor.* o'r wythfed mis, *sef* yn y mis a ddychym-
mygasai efe yn ei galon ei hun; ac efe a
wnaeth uchel-ŵyl i feibion Israel: ac efe a
aeth i fynu at yr allor i arogl-darthu.

## PEN. XIII.

Sul 8 ar ol y Drindod, B. Mai 4. P. 1 *Llaw Jeroboam, yr hon a estynasai efe yn*
*erbyn yr hwn a brophwydasai yn erbyn yr*
*allor yn Bethel, yn gwywo; 6 a thrwy*
*weddi'r prophwyd, yn myned yn iach. 7 Y*
*prophwyd yn gwrthod croesaw y brenhin, ac*
*yn myned ymaith o Bethel. 11 Hen broph-*
*wyd yn ei hudo ef, ac yn ei droi yn ei ol. 20*
*Duw'n ei geryddu ef; 24 a llew yn ei ladd*
*ef; 26 a'r hen brophwyd yn ei gladdu ef,*
*31 ac yn cadarnhâu ei brophwydoliaeth ef.*
*33 Cyndynrwydd Jeroboam.*



AC wele gwr i DDUW a ddaeth o Judah, 975.
trwy air yr ARGLWYDD, i Bethel: a
Jeroboam oedd yn sefyll wrth yr allor i
† arogl-darthu. † Neu, *offrymmu.*
2 Ac efe a lefodd yn erbyn yr allor, trwy
air yr ARGLWYDD, ac a ddywedodd, O
allor, allor, fel hyn y dywedodd yr AR-
GLWYDD; Wele, mab a enir i dŷ Ddafydd,
a'i enw a Josiah; ac efe a abertha arnat ti a 2 Bren. 23. 15, 16.
offeiriaid yr uchelfeydd y rhai sydd yn arogl-
darthu arnat ti, a hwy a losgant esgyrn dy-
nion arnat ti.
3 Ac efe a roddodd arwydd y dwthwn
hwnnw, gan ddywedyd, Dyma'r argoel a
lefarodd yr ARGLWYDD; Wele'r allor a
rwygir, a'r lludw *sydd* arni a dywelltir.
4 A phan glybu'r brenhin air gwr Duw,
yr hwn a lefodd efe yn erbyn yr allor yn
Bethel, yna Jeroboam a estynodd ei law
oddi wrth yr allor, gan ddywedyd, Deliwch
ef. A diffrwythodd ei law ef yr hon a
estynasai efe yn ei erbyn ef, fel na allai efe
ei thynnu hi atto.
5 Yr allor hefyd a rwygodd, a'r lludw a
dywalltwyd oddi ar yr allor, yn ol yr argoel
a roddasai gwr Duw trwy air yr AR-
GLWYDD.
6 A'r brenhin a attebodd ac a ddywedodd
wrth wr Duw, Gweddïa, attolwg, ger bron
yr ARGLWYDD dy DDUW, ac, b ymbil dro- b Exod. 8. 8. a 9. 28. a 10. 17.
sof fi, fel yr adferer fy llaw i mi. A gwr
Duw a weddïodd ger bron yr ARGLWYDD; Num. 21. 7.
a llaw'r brenhin a adferwyd iddo ef, ac a Act. 8. 24.
fu fel cynt.
7 A'r brenhin a ddywedodd wrth wr
Duw, Tyred adref gyd â mi, a chymmer
luniaeth, a mi a roddaf rodd i ti.
8 A gwr Duw a ddywedodd wrth y bren-
hin, c Pe rhoddit i mi hanner dy dŷ, ni c Felly Num. 22. 18. a 24. 13.
ddeuwn i gyd â thi; ac ni fwyttâwn fara, ac
ni yfwn ddwfr, yn y fan hon:
9 Canys fel hyn y gorchymynwyd i mi
trwy air yr ARGLWYDD, gan ddywedyd, Na
fwytta fara, ac nac ŷf ddwfr; na ddychwel
chwaith ar hŷd y ffordd y daethost.
10 Felly efe a aeth ymaith ar hŷd ffordd
arall, ac ni ddychwelodd ar hyd y ffordd y
daethai ar hyd-ddi i Bethel.
11 ¶ Ac yr oedd rhyw hen brophwyd yn
trigo yn Bethel; a'i fab a ddaeth ac a fy-
negodd iddo yr holl waith a wnelsai gwr
Duw y dydd *hwnnw* yn Bethel: a hwy a
fynegasant i'w tad y geiriau a lefarasai efe
wrth y brenhin.
12 A'u tad a ddywedodd wrthynt, Pa
ffordd yr aeth efe? A'i feibion a welsent y
ffordd yr aethai gwr Duw, yr hwn a
ddaethai o Judah.
13 Ac efe a ddywedodd wrth ei feib-
ion, Cyfrwywch i mi'r asyn. A hwy a
gyfrwyasant iddo'r asyn; ac efe a farchog-
odd arno.
14 Ac efe a aeth ar ol gwr Duw, ac a'i
cafodd ef yn eistedd dan dderwen; ac a
ddywedodd wrtho, Ai tydi *yw* gwr Duw
yr hwn a ddaethost o Judah? Ac efe a ddy-
wedodd, *Ie* myfi.
15 Yna efe a ddywedodd wrtho, Tyred
adref gyd â mi, a bwytta fara.
16 Yntau a ddywedodd, Ni allaf ddy-
chwelyd gyd â thi, na dyfod gyd â thi; ac ‡ Heb. *bu gair attaf.*
ni fwyttâf fara, ac nid yfaf ddwfr gyd â thi,
yn y fan hon.
17 Canys ‡ dywedwyd wrthyf d trwy d Pen. 20. 35.
ymadrodd yr ARGLWYDD, Na fwytta fara, 1 Thes. 4.
ac nac ŷf ddwfr yno; ac na ddychwel gan 15.

fyned trwy'r ffordd y daethost ar hyd-
ddi.
18 Dywedodd yntau wrtho, Prophwyd
hefyd *ydwyf* fi fel tithau; ac angel a lefar-
odd wrthyf trwy air yr ARGLWYDD, gan
ddywedyd, Dychwel ef gyd â thi i'th dŷ,
fel y bwyttao fara, ac yr yfo ddwfr. *Ond*
efe a ddywedodd gelwydd wrtho.
19 Felly efe a ddychwelodd gyd ag ef, ac a
fwyttaodd fara yn ei dŷ ef, ac a yfodd ddwfr.
20 ¶ A phan oeddynt hwy yn eistedd wrth
y bwrdd, daeth gair yr ARGLWYDD at y pro-
phwyd a barasai iddo ddychwelyd:
21 Ac efe a lefodd ar wr DUW yr hwn a
ddaethai o Judah, gan ddywedyd, Fel hyn y
dywed yr ARGLWYDD; O herwydd it' anu-
fuddhâu i air yr ARGLWYDD, ac na chedw-
aist y gorchymyn a orchymynodd yr AR-
GLWYDD dy DDUW i ti,
22 Eithr dychwelaist, a bwytteaist fara,
ac yfaist ddwfr, yn y lle *am* yr hwn y dy-
wedodd *yr ARGLWYDD* wrthyt ti, Na
fwytta fara, ac nac yf ddwfr; nid â dy
gelain di i feddrod dy dadau.
23 ¶ Ac wedi iddo fwytta bara, ac wedi
iddo yfed, efe a gyfrwyodd iddo'r asyn,
*sef* i'r prophwyd a barasai efe iddo ddy-
chwelyd.
[e] Pen. 20. 36. 24 Ac wedi iddo fyned ymaith, [e] llew
a'i cyfarfu ef ar y ffordd, ac a'i lladdodd ef:
a bu ei gelain ef wedi ei bwrw ar y ffordd,
a'r asyn oedd yn sefyll yn ei ymyl ef, a'r
llew yn sefyll wrth y gelain.
25 Ac wele, wŷr yn myned heibio, ac a
ganfuant y gelain wedi ei thaflu ar y ffordd,
a'r llew yn sefyll wrth y gelain: a hwy a
ddaethant ac a adroddasant *hynny* yn y ddi-
nas yr oedd yr hen brophwyd yn aros ynddi.
26 A phan glybu'r prophwyd, yr hwn a
barasai iddo ef ddychwelyd o'r ffordd, efe
a ddywedodd, Gwr DUW *yw* efe, yr hwn
a anufuddhaodd air yr ARGLWYDD: am
hynny yr ARGLWYDD a'i rhoddodd ef i'r
llew, yr hwn a'i drylliodd ef, ac a'i lladdodd
ef, yn ol gair yr ARGLWYDD, yr hwn a
lefarodd efe wrtho ef.
27 Ac efe a lefarodd wrth ei feibion, gan
ddywedyd, Cyfrwywch i mi'r asyn. A hwy
a'i cyfrwyasant.
28 Ac efe a aeth, ac a gafodd ei gelain ef
wedi ei thaflu ar y ffordd, a'r asyn a'r llew
yn sefyll wrth y gelain: ac ni fwyttasai y
llew y gelain, ac ni ddrylliasai efe yr asyn.
29 A'r prophwyd a gymmerth gelain gwr
DUW, ac a'i gosododd hi ar yr asyn, ac a'i
dug yn ei hol. A'r hen brophwyd a ddaeth
i'r ddinas, i alaru, ac i'w gladdu ef.
30 Ac efe a osododd ei gelain ef yn ei
feddrod ei hun; a hwy a alarasant am dano
ef, *gan ddywedyd*, Oh fy mrawd!
31 Ac wedi iddo ei gladdu ef, efe a lefar-
odd wrth ei feibion, gan ddywedyd, Pan
fyddwyf farw, cleddwch finnau hefyd yn
[f] 2 Bren. 23. 18. y bedd y claddwyd gwr DUW ynddo; [f] go-
sodwch fy esgyrn i wrth ei esgyrn ef.
[g] 2 Bren. 23. 16. 32 Canys diammeu y bydd [g] yr hyn a
lefodd efe trwy air yr ARGLWYDD yn erbyn
[h] Edrych Pen. 16. 24. yr allor *sydd* yn Bethel, ac yn erbyn holl dai'r
uchelfeydd *sydd* yn ninasoedd [h] Samaria.
Cylch 974. 33 ¶ Wedi'r peth hyn ni ddychwelodd
Jeroboam o'i ffordd ddrygionus; ond [i] efe
[i] Pen. 12. 31, 32. † a wnaeth drachefn o wehilion y bobl
offeiriaid i'r uchelfeydd: y neb a fynnai,
† Heb. *a drodd ac a wnaeth.* efe ‡ a'i cyssegrai ef, ac efe a gai fod yn
offeiriad [k] i'r uchelfeydd.

‡ Heb *a lanwai ei law ef.* [k] Pen. 12. 31.

34 A'r peth hyn a aeth yn bechod i dŷ Je-
roboam, i'w ddiwreiddio hefyd, ac i'w ddilêu
oddi ar wyneb y ddaear.

## PEN. XIV.

1 *Jeroboam, pan glefychodd ei fab Abïah, yn* Mai 5. B.
*gyrru ei wraig yn ddïeithr ag anrhegion i'r*
*prophwyd Ahïah i Siloh.* 5 *Ahïah, ar rybudd*
*Duw, yn cyhoeddi barn Duw.* 17 *Abïah yn*
*marw, a'i gladdu ef.* 19 *Nadab yn dyfod*
*ar ol Jeroboam.* 21 *Drygionus lywodraeth*
*Rehoboam.* 25 *Sisac yn anrheithio Jerusa-*
*lem.* 29 *Abïam yn dyfod ar ol Rehoboam.*

Y Pryd hynny y clefychodd Abïah mab 956.
Jeroboam.
2 A Jeroboam a ddywedodd wrth ei
wraig, Cyfod, attolwg, a newid dy ddillad,
fel na wypont mai ti *yw* gwraig Jeroboam;
a dos i Siloh: wele, yno *y mae* Ahïah y pro-
phwyd, yr hwn a ddywedodd wrthyf [a] *y* [a] Pen. 11. 31.
*byddwn* frenhin ar y bobl yma.
3 A [b] chymmer yn dy law ddeg o fara, a [b] Edrych 1 Sam. 9. 7.
theisenau, a chostrelaid o fêl, a dos atto ef:
efe a fynega i ti beth a dderfydd i'r bachgen.
4 A gwraig Jeroboam a wnaeth felly; ac
a gyfododd ac a aeth i Siloh, ac a ddaeth
i dŷ Ahïah. Ond ni allai Ahïah weled; o
herwydd ei lygaid ef a † ballasai oblegid ei † Heb. *safasai gan henaint.*
henaint.
5 ¶ A dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Ahïah, Wele, y mae gwraig Jeroboam yn
dyfod i geisio peth gennyt dros ei mab;
canys claf yw efe: fel hyn ac fel hyn y dy-
wedi wrthi hi: canys pan ddelo hi i mewn,
hi a ymddïeithra.
6 A phan glybu Ahïah drwst ei thraed
hi yn dyfod i'r drws, efe a ddywedodd,
Tyred i mewn, gwraig Jeroboam; i ba beth
yr wyt ti yn ymddïeithro? canys myfi a an-
fonwyd attat ti â *newyddion* caled.
7 Dos, dywed wrth Jeroboam, Fel hyn
y dywedodd ARGLWYDD DDUW Israel;
Yn gymmaint a darfod i mi dy ddyrchafu
di o blith y bobl, a'th wneuthur di yn
flaenor ar fy mhobl Israel,
8 A thorri ymaith y frenhiniaeth oddi
wrth dŷ Ddafydd, a'i rhoddi i ti; ac na
buost ti fel fy ngwas Dafydd, yr hwn a
gadwodd fy ngorchymynion, a'r hwn a rodi-
odd ar fy ol i â'i holl galon, i wneuthur yn
unig *yr hyn oedd* union yn fy ngolwg i,
9 Ond a wnaethost ddrwg y tu hwnt i
bawb a fu o'th flaen di; ac a aethost ac a
wnaethost it' dduwiau dïeithr, a delwau
toddedig, i'm digio i, ac [c] a'm teflaist i o'r [c] Neh. 9. 26.
tu ol i'th gefn: Ezec. 23.
10 Am hynny, wele [d] fi yn dwyn drwg 35.
ar dŷ Jeroboam; a thorraf ymaith oddi [d] Pen. 15.
wrth Jeroboam [e] yr hwn a biso ar bared, [f] y 29.
gwarchaeedig a'r gweddilledig yn Israel; a [e] Pen. 21.
mi a fwriaf allan weddillion tŷ Jeroboam, 21.
fel y bwrir allan dom, nes ei ddarfod. 2 Bren. 9. 8.
11 Y cwn a fwytty yr hwn fyddo farw o [f] Deut. 28.
eiddo Jeroboam yn y ddinas; ac adar y nef- 26.
oedd a fwytty yr hwn fyddo farw yn y
maes: canys yr ARGLWYDD a'i dywedodd.
12 Cyfod di gan hynny, dos i'th dŷ: *a*
[g] phan ddelo dy draed i'r ddinas, bydd [g] Adn. 17.
marw'r bachgen.
13 A holl Israel a alarant am dano ef, ac
a'i claddant ef: canys efe yn unig o Jero-
boam a ddaw i'r bedd; o herwydd [h] cael [h] 2 Chron.
ynddo ef beth daioni tu ag at ARGLWYDD 12. 12. a
DDUW Israel, yn nhŷ Jeroboam. 19. 3.
14 Yr ARGLWYDD hefyd a gyfyd iddo [i] Pen. 15.
i frenhin ar Israel, yr hwn a dyr ymaith 27.

nŷ Jeroboam y dwthwn hwnnw: ond pa
beth? ie yn awr.
15 Canys yr ARGLWYDD a dery Israel,
[k] 2 Bren. megis y siglir y gorsen mewn dwfr; ac [k] a
17. 23. ddiwreiddia Israel o'r wlad dda hon a roddodd
efe i'w tadau hwynt, ac a'u gwasgar
hwynt tu hwnt i'r afon; o herwydd gwneuthur
o honynt eu llwyni, gan annog yr ARGLWYDD
i ddigofaint.
16 Ac efe a ddyry heibio Israel, er mwyn
pechodau Jeroboam, yr hwn a bechodd, a'r
hwn a wnaeth i Israel bechu.
17 ¶ A gwraig Jeroboam a gyfododd, ac
[l] Pen. 16. a aeth ymaith, ac a ddaeth i [l] Thirsah: ac
6, 8, 15, 23. [m] a hi yn dyfod † i drothwy 'r tŷ, bu farw
Can. 6. 4. y bachgen.
[m] Adn. 12. 18 A hwy a'i claddasant ef, a holl Israel
† *at riniog y drws.* a alarasant am dano, [n] yn ol gair yr ARGLWYDD,
[n] Adn. 13. yr hwn a lefarasai efe trwy law
ei was Ahïah y prophwyd.
19 A'r rhan arall o weithredoedd Jeroboam,
fel y rhyfelodd efe, ac fel y teyrnasodd
efe, wele hwynt yn ysgrifenedig yn
llyfr chronicl brenhinoedd Israel.
954. 20 A'r dyddiau y teyrnasodd Jeroboam,
*oedd* ddwy flynedd ar hugain: ac efe a
hunodd gyd â'i dadau; a Nadab ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.
21 ¶ A Rehoboam mab Salomon a deyr-
975. nasodd yn Judah. Mab un mlwydd a deu-
[o] 2 Chron. gain *oedd* [o] Rehoboam pan aeth efe yn fren-
12. 13. hin, a dwy flynedd ar bymtheg y teyrnasodd
efe yn Jerusalem, y ddinas a ddewisasai 'r
ARGLWYDD o holl lwythau Israel, i osod ei
enw yno. Ac enw ei fam ef *oedd* Naamah,
Ammonees.
972. 22 A Judah a wnaeth ddrygioni yngolwg
yr ARGLWYDD; a hwy a'i hannogasant
ef i eiddigedd, rhagor yr hyn oll a wnaethai
eu tadau, yn eu pechodau a wnaethent.
23 Canys hwy a adeiladasant iddynt uchelfeydd,
a delwau, a llwynau ar bob bryn
uchel, a than bob pren gwyrddlas.
[p] Pen. 15. 24 A gwŷr [p] sodomiaidd oedd yn y
12. a 22. 46. wlad: gwnaethant *hefyd* yn ol holl ffieidd-
2 Bren. 23. dra'r cenhedloedd a fwriasai 'r ARGLWYDD
7. allan o flaen meibion Israel.
971. 25 ¶ [q] Ac yn y bummed flwyddyn i'r
[q] 2 Chron. brenhin Rehoboam, [r] Sisac brenhin yr Aipht
12. 2. a ddaeth i fynu yn erbyn Jerusalem.
[r] Pen. 11. 26 Ac efe a ddug ymaith drysorau tŷ 'r
40. ARGLWYDD, a thrysorau tŷ 'r brenhin; efe
a'u dug hwynt ymaith oll: dug ymaith hefyd
[s] Pen. 10. yr holl dariannau aur [s] a wnaethai Salomon.
16. 27 A'r brenhin Rehoboam a wnaeth yn
eu lle hwynt dariannau pres, ac a'u rhoddodd
*hwynt* i gadw yn llaw tywysogion y
‡ *gard.* ‡ rhedegwŷr, y rhai oedd yn cadw drws tŷ 'r
brenhin.
28 A phan elai 'r brenhin i dŷ 'r ARGLWYDD,
y rhedegwŷr a'u dygent hwy, ac
a'u hadferent i 'stafell y rhedegwŷr.
[t] 2 Chron. 29 ¶ [t] A'r rhan arall o weithredoedd Re-
12. 15. hoboam, a'r hyn oll a wnaeth efe, onid
*ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr chronicl
brenhinoedd Judah?
30 A rhyfel fu rhwng Rehoboam a Jeroboam
yr holl ddyddiau.
958. 31 A Rehoboam a hunodd gyd â'i dadau,
ac a gladdwyd gyd â'i dadau yn ninas Dafydd.
Ac enw ei fam ef *oedd* Naamah, Am-
[u] 2 Chron. monees. Ac [u] Abïam ei fab a deyrnasodd
12. 16, *Abiah.* yn ei le ef.

## PEN. XV.

Mu 5. P. 1 *Annuwiol deyrnasiad Abïam.* 8 *Asa ar ei ol ef,* 11 *yn teyrnasu yn ddaionus;* 16 *a'r rhyfel rhyngtho ef a Baasa, yn peri iddo wneuthur cyngrair â Benhadad.* 24 *Jehosaphat yn dyfod ar ei ol ef.* 25 *Drygionus lywodraeth Nadab.* 27 *Brad Baasa yn ei erbyn ef, yn cyflawni prophwydoliaeth Ahiah.* 31 *Hanes Nadab, a'i farwolaeth.* 33 *Drygionus lywodraeth Baasa.*

AC yn y ddeunawfed flwyddyn i'r bren- 958.
hin [a] Jeroboam mab Nebat, yr aeth [a] 2 Chron.
Abïam yn frenhin ar Judah. 13. 1.
2 [b] Tair blynedd y teyrnasodd efe yn Je- [b] 2 Chron.
rusalem. Ac [c] enw ei fam ef *oedd* Maachah, 13. 2.
merch [d] Abisalom. [c] 2 Chron. 11. 20, 22.
3 Ac efe a rodiodd yn holl bechodau ei [d] 2 Chron.
dad, y rhai a wnaethai efe o'i flaen ef: ac 11. 21,
nid oedd ei galon ef berffaith gyd â'r AR- *Absalom.*
GLWYDD ei DDUW, fel calon Dafydd ei dad.
4 Ond er mwyn Dafydd y rhoddodd yr
ARGLWYDD ei DDUW iddo ef † oleuni yn † Heb.
Jerusalem; i gyfodi ei fab ef ar ei ol ef, ac i *canwyll*,
sicrhâu Jerusalem: neu, *lamp*, Pen. 11. 36
5 O herwydd gwneuthur o Ddafydd *yr*
*hyn oedd* union yngolwg yr ARGLWYDD,
ac na chiliodd oddi wrth yr hyn oll a orchymynodd
efe iddo holl ddyddiau ei einioes,
[e] ond yn achos Urïah yr Hethiad. [e] 2 Sam.
6 A rhyfel a fu rhwng Rehoboam a Je- 11. 4, 15. a
roboam holl ddyddiau ei einioes. 12. 9.
7 A'r rhan arall o weithredoedd Abïam,
a'r hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn
ysgrifenedig yn [f] llyfr chronicl brenhinoedd [f] 2 Chron.
Judah? A rhyfel a fu rhwng Abïam a Jero- 13. 3.
boam.
8 Ac Abïam a hunodd gyd â'i dadau, a 955.
hwy a'i claddasant ef yn ninas Dafydd. Ac
[g] Asa ei fab a deyrnasodd yn ei le ef. [g] 2 Chron.
9 ¶ Ac yn yr ugeinfed flwyddyn i Jero- 14. 1.
boam brenhin Israel yr aeth Asa yn frenhin
ar Judah.
10 Ac un mlynedd a deugain y teyrnasodd
efe yn Jerusalem. Ac enw ‡ ei fam ef *oedd* ‡ *Sef, ei*
Maachah, merch Abisalom. *nain ef.*
11 Ac Asa a wnaeth *yr hyn oedd* union
yngolwg yr ARGLWYDD, fel Dafydd ei dad.
12 Ac efe a yrrodd ymaith [h] y gwŷr Cylch
sodomiaidd o'r wlad, ac a fwriodd ymaith 951.
yr holl ddelwau a wnaethai ei dadau. [h] Pen. 14. 24. a 22. 46.
13 Ac efe a symmudodd [i] Maachah ei fam
o *fod* yn frenhines, o herwydd gwneuthur [i] 2 Chron. 15. 16.
o honi hi ddelw mewn llwyn; ac Asa a
ddrylliodd ei delw hi, ac a'i llosgodd wrth
afon Cidron.
14 Ond [k] ni fwriwyd ymaith yr uchel- [k] Pen. 22.
feydd: etto calon Asa oedd berffaith gyd 43.
â'r ARGLWYDD ei holl ddyddiau ef.
15 Ac efe a ddug i mewn gyssegredig
bethau ei dad, a'r pethau a gyssegrasai efe
ei hun, i dŷ 'r ARGLWYDD, yn arian, yn aur,
ac yn llestri.
16 ¶ A rhyfel a fu rhwng Asa a Baasa
brenhin Israel eu holl ddyddiau hwynt.
17 A [l] Baasa brenhin Israel a aeth i fynu [l] 2 Chron.
yn erbyn Judah, ac a adeiladodd Ramah; 16. 1.
[m] fel na adawai efe i neb fyned allan na [m] Edrych
dyfod i mewn at Asa frenhin Judah. Pen. 12. 27.
18 Yna Asa a gymmerodd yr holl arian
a'r aur a adawsid yn nhrysorau tŷ 'r AR-
GLWYDD, a thrysorau tŷ 'r brenhin, ac efe
a'u rhoddodd hwynt yn llaw ei weision:
a'r brenhin Asa a anfonodd at [n] Benhadad [n] 2 Chron.
mab Tabrimon, fab Hezion, brenhin Syria, 16. 2.
yr hwn oedd yn trigo yn Damascus, gan
ddywedyd,
19 Cyfammod *sydd* rhyngof fi a thi, rhwng
fy nhad i a'th dad di: wele, mi a anfonais
i ti anrheg o arian, ac aur; tyred, di-

ddymma dy gyfammod â Baasa brenhin Is-
* Heb. *yr elo i fynu oddi wrthyf.* rael, fel † y cilio efe oddi wrthyf fi.
20 Felly Benhadad a wrandawodd ar y
brenhin Asa, ac a anfonodd dywysogion y
lluoedd, y rhai *oedd* ganddo ef, yn erbyn
[o] 2 Bren. 15. 29. dinasoedd Israel, ac a darawodd [o] Ijon, a
Dan, ac Abel-bethmaachah, a holl Cinne-
roth, gyd â holl wlad Naphtali.
21 A phan glybu Baasa *hynny*, efe a beid-
iodd ag adeiladu Ramah; ac a drigodd yn
Thirsah.
22 Yna y brenhin Asa a gasglodd holl
Judah, heb lysu *neb*: a hwy a gymmerasant
gerrig Ramah, a'i choed, â'r rhai yr adeil-
adasai Baasa; a'r brenhin Asa a adeiladodd
â hwynt Geba Benjamin, a Mispah.
23 A'r rhan arall o holl hanes Asa, a'i
holl gadernid ef, a'r hyn oll a wnaeth efe,
a'r dinasoedd a adeiladodd efe, onid *ydynt*
hwy yn ysgrifenedig yn llyfr chronicl bren-
[p] 2 Chron. 16. 12. hinoedd Judah? eithr [p] yn amser ei henaint
efe a glafychodd o'i draed.
24 Ac Asa a hunodd gyd â'i dadau, ac a
gladdwyd gyd â'i dadau yn ninas Dafydd
[q] 2 Chron. 17. 1. ei dad; [q] a [r] Jehosaphat ei fab a deyrnas-
odd yn ei le ef.
[r] Mat. 1. 8, *Josaphat.* 25 ¶ A Nadab mab Jeroboam a ‡ dde-
chreuodd deyrnasu ar Israel yn yr ail
‡ Heb. *deyrnasodd.* flwyddyn i Asa brenhin Judah; ac a deyr-
nasodd ar Israel ddwy flynedd.
954. 26 Ac efe a wnaeth ddrygioni yngolwg
yr Arglwydd, ac a rodiodd yn ffordd ei
dad, ac yn ei bechod ef *â'r* hwn y gwnaeth
efe i Israel bechu.
27 ¶ A Baasa mab Ahïah, o dŷ Issachar, a
gyd-fwriadodd yn ei erbyn ef; a Baasa a'i
[s] Josua 19. 44. Pen. 16. 15. tarawodd ef yn [s] Gibbethon *eiddo*'r Phi-
listiaid: canys Nadab a holl Israel oedd yn
gwarchae ar Gibbethon.
953. 28 A Baasa a'i lladdodd ef yn y drydedd
flwyddyn i Asa brenhin Judah, ac a deyr-
nasodd yn ei le ef.
29 A phan deyrnasodd, efe a darawodd
holl dŷ Jeroboam; ni adawodd un *perchen*
anadl i Jeroboam, nes ei ddifetha ef, yn
[t] Pen. 14. 10, 14. ol [t] gair yr Arglwydd, yr hwn a le-
farasai efe trwy law ei was Ahïah y Si-
loniad:
[u] Pen. 14. 16. 30 [u] Am bechodau Jeroboam y rhai a be-
chasai efe, a *thrwy*'r rhai y gwnaethai efe i
Israel bechu; o herwydd ei waith ef yn digio
Arglwydd Dduw Israel.
31 A'r rhan arall o hanes Nadab, a'r hyn
oll a wnaeth efe, onid *ydynt* yn ysgrifenedig
yn llyfr chronicl brenhinoedd Israel?
32 A rhyfel a fu rhwng Asa a Baasa bren-
hin Israel eu holl ddyddiau hwynt.
33 Yn y drydedd flwyddyn i Asa brenhin
Judah y teyrnasodd Baasa mab Ahïah ar holl
Israel yn Thirsah, bedair blynedd ar hugain.
34 Ac efe a wnaeth ddrygioni yngolwg
yr Arglwydd, ac a rodiodd yn ffordd Je-
roboam, ac yn ei bechod ef *trwy* yr hwn y
gwnaeth efe i Israel bechu.

## PEN. XVI.

Mai 6. B. 1, 7 *Prophwydoliaeth Jehu yn erbyn Baasa.*
*5 Elah yn dyfod ar ei ol ef: 8 a Zimri,*
*trwy frad, ar ei ol yntau; 11 ac yn dwyn*
*i ben brophwydoliaeth Jehu. 15 Omri yn*
*ei yrru ef i'w losgi ei hun; 21 a chwedi*
*ymrannu o'r bobl, yn gorthrechu Tibni, 23*
*yn adeiladu Samaria, 25 yn teyrnasu yn*
*annuwiol. 27 Ahab ar ei ol ef, 29 yn teyr-*
*nasu yn ysgeler. 34 Melldith Josua yn dy-*
*fod i Hiel am adeiladu Jericho.*

YNA y daeth gair yr Arglwydd at Cylch
[a] Jehu fab Hanani yn erbyn Baasa, 930.
gan ddywedyd, [a] 2 Chron. 19. 2. a 20. 34.
2 [b] O herwydd im' dy ddyrchafu o'r
llwch, a'th wneuthur yn flaenor ar fy mhobl [b] Pen. 14. 7.
Israel, a rhodio o honot tithau yn ffordd
Jeroboam, a pheri i'm pobl Israel bechu,
gan fy nigio â'u pechodau;
3 Wele fi [c] yn torri ymaith hiliogaeth [c] Adn. 11.
Baasa, a hiliogaeth ei dŷ ef: a mi a wnaf
dy dŷ di fel [d] tŷ Jeroboam mab Nebat. [d] Pen. 14. 10. a 15. 29.
4 [e] Y cwn a fwytty 'r hwn fyddo marw
o'r eiddo Baasa yn y ddinas; ac adar y [e] Pen. 14. 11.
nefoedd a fwytty yr hwn fyddo marw o'r
eiddo ef yn y maes.
5 A'r rhan arall o hanes Baasa, a'r hyn oll
a wnaeth efe, a'i gadernid ef, [f] onid *ydynt* [f] 2 Chron. 16. 1.
yn ysgrifenedig yn llyfr chronicl brenhin-
oedd Israel?
6 A Baasa a hunodd gyd â'i dadau, ac a 930.
gladdwyd yn Thirsah; ac Elah ei fab a deyrn-
asodd yn ei le ef.
7 Hefyd trwy law Jehu fab Hanani y pro-
phwyd y bu gair yr Arglwydd yn erbyn
Baasa, ac yn erbyn ei dŷ ef, o herwydd yr
holl ddrygioni a wnaeth efe yngolwg yr Ar-
glwydd, gan ei ddigio ef trwy waith ei [g] Pen. 15. 27. 29. Edrych Hos. 1. 4.
ddwylaw; gan fod fel tŷ Jeroboam, ac ob-
legid [g] iddo ei ladd ef.
8 ¶ Yn y chweched flwyddyn ar hugain 930.
i Asa brenhin Judah y teyrnasodd Elah mab
Baasa ar Israel yn Thirsah, ddwy flynedd.
9 A Zimri ei was ef, tywysog ar hanner
y cerbydau, a gyd-fwriadodd yn ei erbyn
ef, ac efe yn yfed yn feddw, yn Thirsah, yn † Heb. *ar dŷ Thirsah.*
nhŷ Arsa, yr hwn *oedd* † ben-teulu yn
Thirsah,
10 A [h] Zimri a aeth ac a'i tarawodd ef, 929.
ac a'i lladdodd, yn y seithfed flwyddyn ar [h] 2 Bren. 9. 31.
hugain i Asa brenhin Judah, ac a deyrna-
sodd yn ei le ef.
11 ¶ A phan ddechreuodd efe deyrnasu,
ac eistedd ar ei deyrn-gadair, efe a laddodd
holl dŷ Baasa: ni adawodd efe iddo ef [i] *un* [i] 1 Sam. 25. 22.
i biso yn erbyn y pared, na'i geraint, na'i
gyfeillion.
12 Felly Zimri a ddinystriodd holl dŷ
Baasa, yn ol gair yr Arglwydd, yr hwn
a lefarodd efe yn erbyn Baasa trwy law
[k] Jehu y prophwyd. [k] Adn. 1.
13 O herwydd holl bechodau Baasa, a
phechodau Elah ei fab ef, *trwy* y rhai y
pechasant hwy, a thrwy y rhai y gwnaeth-
ant i Israel bechu, gan ddigio Arglwydd [l] Deut. 32. 21.
Dduw Israel â'u [l] gwagedd. 1 Sam. 12. 21.
14 A'r rhan arall o hanes Elah, a'r hyn a
wnaeth efe, onid *ydynt* hwy'n ysgrifenedig 1 Cor. 8. 4. a 10. 19.
yn llyfr chronicl brenhinoedd Israel?
15 ¶ Yn y seithfed flwyddyn ar hugain 929.
i Asa brenhin Judah y teyrnasodd Zimri
saith niwrnod yn Thirsah [m] a'r bobl *oedd* [m] Pen. 15. 27.
yn gwersyllu yn erbyn Gibbethon *eiddo*'r
Philistiaid.
16 A chlybu'r bobl *y rhai oedd* yn y
gwersyll ddywedyd, Zimri a gyd-fwriad-
odd, ac a laddodd y brenhin. A holl Is-
rael a goronasant Omri, tywysog y llu, yn
frenhin y dwthwn hwnnw ar Israel yn y
gwersyll.
17 Ac Omri a aeth i fynu, a holl Israel
gyd ag ef, o Gibbethon; a hwy a warchaeas-
ant ar Thirsah.
18 A phan welodd Zimri fod y ddinas
wedi ei hennill, efe a aeth i balas tŷ y bren-
hin, ac a losgodd dŷ'r brenhin am ei ben â 929.
thân, ac a fu farw;

19 Am ei bechodau yn y rhai y pechodd efe, gan wneuthur drygioni yngolwg yr ARGLWYDD, gan rodio yn ffordd Jeroboam, ac yn ei bechod a wnaeth efe i beri i Israel bechu.

20 A'r rhan arall o hanes Zimri, a'i gyd-fradwriaeth a gyd-fwriadodd efe; onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr chronicl brenhinoedd Israel?

21 ¶ Yna'r ymrannodd pobl Israel yn ddwy ran: rhan o'r bobl oedd ar ol Tibni mab Ginath, i'w osod ef yn frenhin, a rhan ar ol Omri.

22 A'r bobl *oedd* ar ol Omri a orchfygodd y bobl *oedd* ar ol Tibni mab Ginath: felly Tibni a fu farw, ac Omri a deyrnasodd.

23 ¶ Yn yr unfed flwyddyn ar ddeg ar hugain i Asa brenhin Judah y teyrnasodd Omri ar Israel ddeuddeng mlynedd: yn Thirsah y teyrnasodd efe chwe blynedd.

24 Ac efe a brynodd fynydd Samaria gan Semer, er dwy dalent o arian; ac a adeiladodd yn y mynydd, ac a alwodd enw'r ddinas a adeiladasai efe, ar ol enw Semer, arglwydd y mynydd, † [n] Samaria.

† Heb. *Someron.*

25 ¶ Ond [o] Omri a wnaeth ddrygioni yngŵydd yr ARGLWYDD, ac a wnaeth yn waeth nâ'r holl rai *a fuasai* o'i flaen ef.

[n] Edrych Pen. 13. 32.
[o] Mic. 6. 16.

26 Canys efe a rodiodd yn holl ffordd Jeroboam mab Nebat, ac yn ei bechod ef, *trwy*'r hwn y gwnaeth efe i Israel bechu, gan ddigio ARGLWYDD DDUW Israel â'u [p] gwagedd hwynt.

[p] Adn. 13.

27 A'r rhan arall o hanes Omri yr hyn a wnaeth efe, a'i rymmusder a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr chronicl brenhinoedd Israel?

28 Ac Omri a hunodd gyd â'i dadau, ac a gladdwyd yn Samaria, ac Ahab ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

918. 29 ¶ Ac Ahab mab Omri a ddechreuodd deyrnasu ar Israel yn y drydedd flwyddyn ar bymtheg ar hugain i Asa brenhin Judah: ac Ahab mab Omri a deyrnasodd ar Israel yn Samaria ddwy flynedd ar hugain.

30 Ac Ahab mab Omri a wnaeth ddrygioni yngolwg yr ARGLWYDD y tu hwnt i bawb o'i flaen ef.

31 ‡ Canys ysgafn oedd ganddo ef rodio ym mhechodau Jeroboam mab Nebat, ac efe a gymmerth yn wraig Jezebel merch Ethbaal brenhin y Sidoniaid, ac a aeth ac a wasanaethodd Baal, ac a ymgrymmodd iddo.

‡ Heb. *Ai.*

32 Ac efe a gyfododd allor i Baal yn nhŷ Baal, yr hwn a adeiladasai efe yn Samaria.

33 Ac Ahab a wnaeth [q] lwyn. Ac Ahab a wnaeth fwy i ddigio ARGLWYDD DDUW Israel nâ holl frenhinoedd Israel a fuasai o'i flaen ef.

[q] 2 Bren. 13. 6. a 17. 16. a 21. 3.

34 ¶ Yn ei ddyddiau ef Hïel y Betheliad a adeiladodd Jericho; yn Abiram ei gyntafanedig y sylfaenodd efe hi, ac yn Segub ei *fab* ieuangaf y gosododd efe ei phyrth hi, [r] yn ol gair yr ARGLWYDD, yr hwn a lefarasai efe trwy law Josua mab Nun.

[r] Jos. 6. 26.

## PEN. XVII.

Sal 8 ar ol y Drindod, P.
Mai 6. P.

1 *Elias, wedi prophwydo yn erbyn Ahab, yn cael ei borthi gan gigfrain yn Cerith,* 10 *a chan wraig weddw yn Sarephtah,* 14 *a honno yn cael rhad penllad,* 17 *a chyfodi ei mab o farw i fyw,* 24 *ac yn credu Elias.*

AC † Elïas y Thesbiad, *un* o breswylwŷr Gilead, a ddywedodd wrth Ahab, [a] *Fel mai* byw ARGLWYDD DDUW Israel, yr hwn yr ydwyf yn sefyll ger ei fron, [b] ni bydd [c] y blynyddoedd hyn na gwlith na gwlaw, ond yn ol fy ngair i.

† Heb. *Eliahu.*

Cylch 910.

[a] 2 Bren. 3. 14.
[b] Eccl. 48. 3. Iago 5. 17.
[c] Luc 4. 25.

2 A gair yr ARGLWYDD a ddaeth atto ef, gan ddywedyd,

3 Dos oddi yma, a thro tu a'r dwyrain, ac ymguddia wrth afon Cerith, yr hon *sydd* ar gyfer yr Iorddonen.

4 Ac o'r afon yr yfi; a mi a berais i'r cigfrain dy borthi di yno.

5 Felly efe a aeth, ac a wnaeth yn ol gair yr ARGLWYDD: canys efe a aeth, ac a arhosodd wrth afon Cerith, yr hon *sydd* ar gyfer yr Iorddonen.

6 A'r cigfrain a ddygent iddo fara a chig y bore, a bara a chig bryd nawn: ac efe a yfai o'r afon.

7 Ac yn ol talm o ddyddiau y sychodd yr afon: oblegid na buasai wlaw yn y wlad.

8 ¶ A gair yr ARGLWYDD a ddaeth atto ef, gan ddywedyd,

9 Cyfod, dos i [d] Sarephtah, yr hon *sydd yn perthyn* i Sidon, ac aros yno: wele, gorchymynais i wraig weddw dy borthi di yno.

[d] Luc 4. 26. *Sarephath* Obad. 20.

10 Felly efe a gyfododd, ac a aeth i Sarephtah. A phan ddaeth efe at borth y ddinas, wele yno wraig weddw yn casglu briw-wŷdd: ac efe a alwodd arni, ac a ddywedodd, Dwg, attolwg, i mi ychydig ddwfr mewn llestr, fel yr yfwyf.

11 Ac a hi yn myned i'w gyrchu, efe a alwodd arni, ac a ddywedodd, Dwg, attolwg, i mi dammaid o fara yn dy law.

12 A hi a ddywedodd, *Fel mai* byw yr ARGLWYDD dy DDUW, nid oes gennyf deisen, ond llonaid llaw o flawd mewn celwrn, ac ychydig olew mewn ystên: ac wele fi yn casglu dau o friw-wŷdd, i fyned i mewn, ac i barottöi hynny i mi ac i'm mab, fel y bwyttaom hynny, ac y byddom feirw.

13 Ac Elïas a ddywedodd wrthi, Nac ofna, dos, gwna yn ol dy air: etto gwna i mi o hynny deisen fechan yn gyntaf, a dwg i mi; a gwna i ti ac i'th fab ar ol hynny.

14 Canys fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW Israel, Y blawd yn y celwrn ni threulir, a'r olew o'r ystên ni dderfydd, hyd y dydd y rhoddo'r ARGLWYDD wlaw ar wyneb y ddaear.

15 A hi a aeth, ac a wnaeth yn ol gair Elïas: a hi a fwyttaodd, ac yntau, a'i thylwyth, ‡ *ysbaid* blwyddyn.

‡ Neu, *lawer o ddyddiau.*

16 Ni ddarfu'r celwrn blawd, a'r ystên olew ni ddarfu, yn ol gair yr ARGLWYDD, yr hwn a ddywedasai efe trwy law Elïas.

17 ¶ Ac wedi'r pethau hyn y clefychodd mab gwraig y tŷ, ac yr oedd ei glefyd ef mor gryf, fel na thrigodd anadl ynddo.

18 A hi a ddywedodd wrth Elïas, [e] Beth *sydd* i mi *a wnelwyf* â thi, gwr Duw? a ddaethost ti attaf i goffâu fy anwiredd, ac i ladd fy mab?

[e] Edrych Luc 5. 8.

19 Ac efe a ddywedodd wrthi, Moes i mi dy fab. Ac efe a'i cymmerth ef o'i mynwes hi, ac a'i dug ef i fynu i ystafell yr oedd efe yn aros ynddi, ac a'i gosododd ef ar ei wely ei hun.

20 Ac efe a lefodd ar yr ARGLWYDD, ac a ddywedodd, O ARGLWYDD fy NUW, a ddrygaist ti'r wraig weddw yr ydwyf fi yn ymdeithio gyd â hi, gan ladd ei mab hi?

f 2 Bren. 4. 34, 35. 21 Ac f efe a † ymestynodd ar y bachgen
† Heb. *ymfesuraodd.* dair gwaith, ac a lefodd ar yr ARGLWYDD,
ac a ddywedodd, O ARGLWYDD fy NUW,
dychweled, attolwg, enaid y bachgen hwn
‡ Heb. *i'w fewn.* ‡ iddo eilwaith.
22 A'r ARGLWYDD a wrandawodd ar lef
Elïas; ac enaid y bachgen a ddychwelodd i
mewn iddo, ac efe a ddadebrodd.
23 Ac Elïas a gymmerodd y bachgen, ac
a'i dug ef i wared o'r ystafell i'r tŷ, ac a'i
rhoddes ef i'w fam: ac Elïas a ddywedodd,
Gwel, byw yw dy fab.
24 ¶ A'r wraig a ddywedodd wrth Elïas,
Yn awr wrth hyn y gwn mai gwr Duw
*ydwyt* ti, ac *mai* gwirionedd *yw* gair yr AR-
GLWYDD yn dy enau di.

## PEN. XVIII.

Sul 9 ar ol y Drindod, B. Mai 7. B.
1 *Elias, pan oedd dosta'r newyn, wedi ei*
*yrru at Ahab, yn cyfarfod ag Obadïah; 9*
*a hwnnw yn dwyn Ahab at Elias: 17 ac*
*yntau yn argyoeddi Ahab; a thrwy dân o'r*
*nef, yn cael y maes ar brophwydi Baal;*
*41 a thrwy weddi yn cael gwlaw, ac yn*
*canlyn Ahab i Jezreel.*

Cylch 906. AC *ar ol* dyddiau lawer daeth gair yr
ARGLWYDD at Elïas, yn y drydedd
flwyddyn, gan ddywedyd, Dos, ymddangos
i Ahab; a mi a roddaf wlaw ar wyneb y
ddaear.
2 Ac Elïas a aeth i ymddangos i Ahab.
A'r newyn *oedd* dost yn Samaria.
3 Ac Ahab a alwodd Obadïah, yr hwn
† Heb. *ar ei dŷ ef.* *oedd* † ben-teulu *iddo:* (ac Obadïah oedd yn
ofni'r ARGLWYDD yn fawr:
‡ Heb. *Izebel.* 4 Canys pan ddistrywiodd ‡ Jezebel bro-
phwydi'r ARGLWYDD, Obadïah a gymmer-
odd gant o brophwydi, ac a'u cuddiodd
hwynt bob yn ddeg a deugain mewn ogof,
ac a'u porthodd hwynt â bara ac â dwfr.)
5 Ac Ahab a ddywedodd wrth Obadïah,
Dos i'r wlad, at bob ffynnon ddwfr, ac at yr
holl afonydd: ysgatfydd' ni a gawn laswellt,
fel y cadwom yn fyw y ceffylau a'r mulod,
§ Heb. *nad ymdorrom oddi wrth yr anifeiliaid.* fel § na adawom i'r holl anifeiliaid golli.
6 Felly hwy a rannasant y wlad rhyng-
ddynt i'w cherdded: Ahab a aeth y naill
ffordd ei hunan, ac Obadïah a aeth y ffordd
arall ei hunan.
7 ¶ Ac fel yr oedd Obadïah ar y ffordd,
wele Elïas yn ei gyfarfod ef: ac efe a'i had-
nabu ef, ac a syrthiodd ar ei wyneb, ac a
ddywedodd, Onid ti *yw* fy arglwydd Elïas?
8 Yntau a ddywedodd wrtho, *Iê* myfi:
dos, dywed i'th arglwydd, Wele Elïas.
9 Dywedodd yntau, Pa bechod a wneu-
thum i, pan roddit ti dy was yn llaw Ahab
i'm lladd?
10 *Fel mai* byw yr ARGLWYDD dy
DDUW, nid oes genedl na brenhiniaeth yr
hon ni ddanfonodd fy arglwydd iddi i'th
geisio di; a phan ddywedent, Nid *yw efe*
*yma*, efe a dyngai'r frenhiniaeth a'r genedl,
na chawsent dydi.
11 Ac yn awr *yr wyt* ti yn dywedyd, Dos,
dywed i'th arglwydd, Wele Elïas.
a 2 Bren. 2. 16. 12 A phan elwyf fi oddi wrthyt ti, a ysbryd
Ezec. 3. 12, 14. yr ARGLWYDD a'th gymmer di lle ni's gwn
i; a phan ddelwyf i fynegi i Ahab, ac
Act. 8. 39. yntau heb dy gael di, efe a'm lladd i: ond
y mae dy was di yn ofni'r ARGLWYDD o'm
mebyd.
13 Oni fynegwyd i'm harglwydd yr hyn
a wneuthum i, pan laddodd Jezebel bro-
phwydi'r ARGLWYDD, fel y cuddiais gan-
wr o brophwydi'r ARGLWYDD, bob yn
ddeng-wr a deugain mewn ogof, ac y por-
thais hwynt â bara ac â dwfr?
14 Ac yn awr ti a ddywedi, Dos, dywed i'th
arglwydd, Wele Elïas: ac efe a'm lladd i.
15 A dywedodd Elïas, *Fel mai* byw AR-
GLWYDD y lluoedd, yr hwn yr wyf yn sefyll
ger ei fron, heddyw yn ddïau yr ymddang-
osaf iddo ef.
16 Yna Obadïah a aeth i gyfarfod Ahab,
ac a fynegodd iddo. Ac Ahab a aeth i gy-
farfod Elïas.
17 A phan welodd Ahab Elïas, Ahab
a ddywedodd wrtho, Onid ti *yw* yr hwn
b sydd yn blino Israel? b Act. 16.
18 Ac efe a ddywedodd, Ni flinais i Is- 20.
rael; ond tydi, a thŷ dy dad: am i chwi
wrthod gorchymynion yr ARGLWYDD, ac i
ti rodio ar ol Baalim.
19 Yn awr gan hynny anfon, *a* chasgl at-
taf holl Israel i fynydd Carmel, a phro-
phwydi Baal, pedwar cant a deg a deugain,
a phrophwydi'r llwyni, pedwar cant, y rhai
sydd yn bwytta ar fwrdd Jezebel.
20 Felly Ahab a anfonodd at holl feibion
Israel, ac a gasglodd y prophwydi ynghŷd i
fynydd Carmel.
21 Ac Elïas a ddaeth at yr holl bobl, ac a
ddywedodd, Pa hŷd yr ydych chwi yn cloffi
rhwng dau feddwl? os yr ARGLWYDD *sydd*
DDUW, ewch ar ei ol ef; ond os Baal,
c ewch ar ei ol yntau. A'r bobl nid atte- c Edrych
basant iddo air. Jos. 24. 15.
22 Yna y dywedodd Elïas wrth y bobl,
d Myfi fy hunan wyf yn fyw o brophwydi'r d Pen. 19.
ARGLWYDD; ond prophwydi Baal *ydynt* 10, 14.
bedwar cant a deng-wr a deugain.
23 Rhodder gan hynny i ni ddau fustach;
a dewisant hwy iddynt un bustach, a darn-
iant ef, a gosodant ar goed, ond na osodant
dân *dano:* a minnau a barottoaf y bustach
arall, ac a'i gosodaf ar goed, ac ni roddaf
dân *dano.*
24 A gelwch chwi ar enw eich duwiau,
a minnau a alwaf ar enw'r ARGLWYDD:
a'r Duw a attebo trwy dân, bydded efe
DDUW. A'r holl bobl a attebasant ac a ddy-
wedasant, Da yw'r ‖ peth. ‖ Heb. *gair.*
25 Ac Elïas a ddywedodd wrth bro-
phwydi Baal, Dewiswch i chwi un bustach,
a pharottôwch ef yn gyntaf; canys llawer
*ydych* chwi: a gelwch ar enw eich duwiau,
ond na osodwch dân *dano.*
26 A hwy a gymmerasant y bustach a
roddasid iddynt, ac a'i parottoisant, ac a
alwasant ar enw Baal o'r bore hyd hanner
dydd, gan ddywedyd, Baal, † gwrando ni; † Neu,
ond nid *oedd* llef, na neb yn atteb: a hwy *atteb.*
a lammasant ‡ ar yr allor a wnelsid. ‡ Neu,
27 A bu ar hanner dydd, i Elïas eu *wrth.*
gwatwor hwynt, a dywedyd, Gwaeddwch
â llef uchel: canys duw *yw* efe; naill ai
§ ymddiddan *y mae*, neu erlid, neu ymdei- § Neu,
thio y mae efe; fe a allai ei fod yn cysgu, ac *myfyrio.*
*mai rhaid* ei ddeffro ef.
28 A hwy a waeddasant â llef uchel, ac
a'u torrasant eu hunain yn ol eu harfer â
chyllill ac ag ellynod, nes i'r gwaed ffrydio
arnynt.
29 Ac wedi iddi fyned dros hanner dydd,
‖ a phrophwydo o honynt nes † offrymmu'r ‖ 1 Cor. 11.
*hwyr*-offrwm; etto nid *oedd* llef, na neb yn 3, 5.
atteb, nac yn ‡ ystyried. † Heb.
30 A dywedodd Elïas wrth yr holl bobl, *dyrchafu.*
Nesêwch attaf fi. A'r holl bobl a nesasant ‡ Neu,
atto ef. Ac efe a gyweiriodd allor yr AR- *ymwrando.*
GLWYDD, *yr hon* a ddrylliasid.

31 Ac Elïas a gymmerth ddeuddeg o gerrig, yn ol rhifedi llwythau meibion Jacob, yr hwn y daethai gair yr ARGLWYDD atto, gan ddywedyd, [e] Israel fydd dy enw di.

[e] Gen. 32. 28. 2 Bren. 17. 34.

32 Ac efe a adeiladodd â'r meini allor yn enw'r ARGLWYDD; ac a wnaeth ffos o gylch lle dau fesur o had, o amgylch yr allor.

33 Ac efe a drefnodd y coed, ac a ddarniodd y bustach, ac a'i gosododd ar y coed;

34 Ac a ddywedodd, Llenwch bedwar celyrnaid o ddwfr, a [f] thywelltwch ar y poeth-offrwm, ac ar y coed. Ac efe a ddywedodd, Gwnewch eilwaith; a hwy a wnaethant eilwaith. Ac efe a ddywedodd, Gwnewch y drydedd waith; a hwy a wnaethant y drydedd waith.

[f] Edrych Barn. 6. 20.

35 A'r dyfroedd a aethant o amgylch yr allor, ac a lanwodd y ffos o ddwfr.

36 A phan offrymmid yr *hwyr*-offrwm, Elïas y prophwyd a nesaodd, ac a ddywedodd, O ARGLWYDD [g] DDUW Abraham, Isaac, ac Israel, gwybydder heddyw mai ti *sydd* DDUW yn Israel, a minnau yn was i ti, ac *mai* trwy dy air di y gwneuthum i yr holl bethau hyn.

[g] Exod. 3. 6.

37 Gwrando fi, O ARGLWYDD, gwrando fi, fel y gwypo'r bobl hyn mai tydi *yw*'r ARGLWYDD DDUW, ac *mai* ti a ddychwelodd eu calon hwy drachefn.

38 Yna [h] tân yr ARGLWYDD a syrthiodd, ac a ysodd y poeth-offrwm, a'r coed, a'r cerrig, a'r llwch, ac a leibiodd y dwfr *oedd* yn y ffos.

[h] Lef. 9. 24. Barn. 6. 21. 2 Chron. 7. 1.

39 A'r holl bobl a welsant, ac a syrthiasant ar eu hwynebau, ac a ddywedasant, Yr ARGLWYDD, efe *sydd* DDUW, yr ARGLWYDD, efe *sydd* DDUW.

40 Ac Elïas a ddywedodd wrthynt hwy, [i] Deliwch brophwydi Baal; na ddïanged gwr o honynt. A hwy a'u daliasant: ac Elïas a'u dygodd hwynt i wared i afon Cison, ac a'u lladdodd hwynt yno.

[i] 2 Bren. 10. 25.

41 ¶ Ac Elïas a ddywedodd wrth Ahab, Dos i fynu, bwytta ac yf; canys *wele* † drwst llawer o wlaw.

† Neu, *swn trwst gwlaw.*

42 Felly Ahab a aeth i fynu i fwytta ac i yfed. Ac Elïas a aeth i fynu i ben Carmel; [k] ac a ymostyngodd ar y ddaear, ac a osododd ei wyneb rhwng ei liniau;

[k] Iago 5. 17, 18.

43 Ac a ddywedodd wrth ei langc, Dos i fynu yn awr, edrych tu a'r môr. Ac efe a aeth i fynu ac a edrychodd, ac a ddywedodd, Nid *oes* dim. Dywedodd yntau, Dos etto saith waith.

44 A'r seithfed waith y dywedodd efe, Wele, gwmmwl bychan fel cledr llaw gwr yn dyrchafu o'r môr. A dywedodd yntau, Dos i fynu, dywed wrth Ahab, Rhwym *dy gerbyd*, a dos i wared, fel na'th rwystro'r gwlaw.

45 Ac yn yr ennyd honno y nefoedd a dduodd gan gymmylau a gwŷnt; a bu gwlaw mawr. Ac Ahab a farchogodd, ac a aeth i Jezreel.

46 A llaw'r ARGLWYDD oedd ar Elïas; ac efe [l] a wregysodd ei lwynau, ac a redodd o flaen Ahab nes ‡ ei ddyfod i Jezreel.

[l] 2 Bren. 4. 29.
‡ Heb. *dy.*

PEN. XIX.

Sal 9 ar ol y Drindod, P. Mai 7. P.

1 *Elias, wrth fygwth Jezebel, yn ffoi i Beerseba;* 4 *a phan oedd flin gantho ei einioes, yn cael cysur gan angel.* 9 *Duw yn ymddangos iddo yn Horeb, ac yn ei anfon ef i enneinio Hazael, Jehu, ac Eliseus.* 19 *Eliseus, wedi canu'n iach i'r eiddo, yn canlyn Elias.*

AC Ahab a fynegodd i Jezebel yr hyn oll a wnaethai Elïas; a chyd â phob peth, y modd y lladdasai efe'r holl brophwydi â'r cleddyf.

Cylch 906.

2 Yna Jezebel a anfonodd gennad at Elïas, gan ddywedyd, [a] Fel hyn y gwnelo'r duwiau, ac fel hyn y 'chwanegont, oni wnaf erbyn y pryd *hyn* y foru dy einioes di fel einioes un o honynt hwy.

[a] Ruth 1. 17.

3 A phan welodd efe *hynny*, efe a gyfododd, ac a aeth am ei einioes, ac a ddaeth i Beerseba, yr hon *sydd* yn Judah, ac a adawodd ei langc yno.

4 ¶ Ond efe a aeth i'r anialwch daith diwrnod, ac a ddaeth ac a eisteddodd dan ferywen; ac [b] a ddeisyfodd † iddo gael marw: dywedodd hefyd, Digon yw; yn awr, ARGLWYDD, cymmer fy einioes: canys nid *ydwyf* fi well na'm tadau.

[b] Num. 11. 15. Jonah 4. 3, 8.
† Heb. *i'w einioes.*

5 Ac fel yr oedd efe yn gorwedd ac yn cysgu dan ferywen, wele, angel a gyffyrddodd ag ef, ac a ddywedodd wrtho, Cyfod, bwytta.

6 Ac efe a edrychodd; ac wele, deisen wedi ei chrasu ar farwor, a phïolaid o ddwfr wrth ei ‡ ben ef. Ac efe a fwyttaodd ac a yfodd, ac a gysgodd drachefn.

‡ Heb. *obennydd.*

7 Ac angel yr ARGLWYDD a ddaeth drachefn yr ail waith, ac a gyffyrddodd ag ef, ac a ddywedodd, Cyfod *a* bwytta; canys *y mae* i ti lawer o ffordd.

8 Ac efe a gyfododd, ac a fwyttaodd ac a yfodd; a thrwy rym y bwyd hwnnw y cerddodd efe [c] ddeugain niwrnod a deugain nos, hyd [d] Horeb mynydd DUW.

[c] Felly Deut. 9. 9, 18. Mat. 4. 2.
[d] Exod. 3. 1.

9 ¶ Ac yno yr aeth efe i fewn ogof, ac a lettyodd yno. Ac wele, air yr ARGLWYDD atto ef; ac efe a ddywedodd wrtho, Beth *a wnai* di yma, Elïas?

10 Ac efe a ddywedodd, [e] Dygais fawr zel dros ARGLWYDD DDUW y lluoedd; o herwydd i feibion Israel wrthod dy gyfammod di, a distrywio dy allorau di, a lladd dy brophwydi â'r cleddyf: a [f] mi fy hunan a adawyd; a cheisio y maent ddwyn fy einioes innau.

[e] Rhuf. 11. 3.
[f] Pen. 18. 22.

11 Ac efe a ddywedodd, Dos allan, a saf yn y mynydd ger bron yr ARGLWYDD. Ac wele, yr ARGLWYDD yn myned heibio, a [g] gwŷnt mawr a chryf yn rhwygo'r mynyddoedd, ac yn dryllio'r creigiau o flaen yr ARGLWYDD; *ond* nid *oedd* yr ARGLWYDD yn y gwŷnt: ac ar ol y gwŷnt, daear-gryn; *ond* nid *oedd* yr ARGLWYDD yn y ddaear-gryn:

[g] Ezec. 1. 4. a 37. 7.

12 Ac ar ol y ddaear-gryn, tân; *ond* nid *oedd* yr ARGLWYDD yn y tân: ac ar ol y tân, llef ddistaw fain.

13 A phan glybu Elïas, [h] efe a oblygodd ei wyneb yn ei fantell, ac a aeth allan, ac a safodd *wrth* ddrws yr ogof. [i] Ac wele, lef *yn dyfod* atto, yr hon a ddywedodd, Beth *a wnai* di yma, Elïas?

[h] Felly Exod. 3. 6. Esay 6. 2.
[i] Adn. 9.

14 [k] Dywedodd yntau, Dygais fawr zel dros ARGLWYDD DDUW y lluoedd; o herwydd i feibion Israel wrthod dy gyfammod di, a distrywio dy allorau, a lladd dy brophwydi â'r cleddyf: a mi fy hunan a adawyd; a cheisio y maent fy einioes innau i'w dwyn hi ymaith.

[k] Adn. 10.

15 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrtho, Dos, dychwel i'th ffordd i anialwch Damascus: a phan ddelych, enneinia [l] Hazael yn frenhin ar Syria;

[l] 2 Bren. 8. 13.

16 A [m] Jehu fab Nimsi a enneini di yn frenhin ar Israel; ac [n] Eliseus fab Saphat, o

[m] 2 Bren. 9. 1, 2. Eccl. 48. 8.
[n] Luc 4. 27.

Abel-meholah, a enneini di yn brophwyd yn
dy le dy hun.
o 2 Bren. 9. 14, &c. a 10. 6, &c. a 13. 3. 17 o A'r hwn a ddïango rhag cleddyf Ha-
zael, Jehu a'i lladd ef: ac p Eliseüs a ladd
yr hwn a ddïango rhag cleddyf Jehu.
p Edrych Hos. 6. 5. 18 q A mi a † adewais yn Israel saith o
filoedd, y gliniau oll ni phlygasant i Baal,
q Rhuf. 11. 4. r a phob genau a'r ni's cusanodd ef.
† Neu, *adawaf.* 19 ¶ Felly efe a aeth oddi yno, ac a ga-
fodd Eliseüs fab Saphat yn aredig, a deu-
r Edrych Hos. 13. 2. ddeg cwpl *o ychen* o'i flaen, ac efe *oedd* gyd
â'r deuddegfed. Ac Elïas a aeth heibio iddo
ef, ac a fwriodd ei fantell arno ef.
20 Ac efe a adawodd yr ychen, ac a red-
odd ar ol Elïas, ac a ddywedodd, Attolwg,
s Mat. 8. 21, 22. Luc 9. 61, 62. s gâd i mi gusanu fy nhad a'm mam, ac *yna*
mi a ddeuaf ar dy ol. Ac yntau a ddywed-
odd wrtho, Dos, dychwel; canys beth a
wneuthum i ti?
21 A efe a ddychwelodd oddi ar ei ol ef,
ac a gymmerth gwpl o ychen, ac a'u lladd-
t 2 Sam. 24. 22. odd, ac ag offer yr ychen t y berwodd
efe eu cig hwynt, ac a'i rhoddodd i'r bobl,
a hwy a fwyttasant. Yna efe a gyfododd
ac a aeth ar ol Elïas, ac a'i gwasanaethodd
ef.

## PEN. XX.

Mai 8. B. 1 *Benhadad, yn anfoddlon i drogaeth Ahab, yn
gwarchae ar Samaria. 13 Lladd y Syriaid,
trwy gyngor y prophwyd. 22 Y Syriaid,
fel y dywedasai'r prophwyd i Ahab, yn dy-
fod yn ei erbyn ef yn Aphec; 28 a thrwy
air y prophwyd, a barn Duw, yn cael eu
taro drachefn, 31 ac yn ymrôi, ac Ahab dan
ammod yn gollwng ymaith Benhadad. 35
Y prophwyd, trwy ddammeg, yn peri i
Ahab ei farnu ei hun, ac yn datgan barn
Duw yn ei erbyn ef.*

901. A Benhadad brenhin Syria a gasglodd ei
holl lu, a deuddeg brenhin ar hugain
gyd ag ef, a meirch, a cherbydau: ac efe a
aeth i fynu, ac a warchaeodd ar Samaria, ac
a ryfelodd i'w herbyn hi.
2 Ac efe a anfonodd genhadau at Ahab
brenhin Israel, i'r ddinas,
3 Ac a ddywedodd wrtho, Fel hyn y dy-
wed Benhadad, Dy arian a'th aur *sydd* ei-
ddof fi; dy wragedd hefyd, a'th feibion
glanaf, *ydynt* eiddof fi.
4 A brenhin Israel a attebodd ac a ddy-
wedodd, Yn ol dy air di, fy arglwydd fren-
hin, myfi a'r hyn oll *sydd* gennyf *ydym* ei-
ddot ti.
5 A'r cenhadau a ddychwelasant, ac a
ddywedasant, Fel hyn yr ymadroddodd
Benhadad, gan ddywedyd, Er i mi anfon
attat ti, gan ddywedyd, Dy arian a'th aur,
a'th wragedd, a'th feibion, a roddi di i mi:
6 Etto ynghylch y pryd *hyn* y foru yr
anfonaf fy ngweision attat ti, a hwy a
chwiliant dy dŷ di, a thai dy weision: a
phob peth dymunol yn dy olwg a gym-
merant hwy yn eu dwylaw, ac a'i dygant
ymaith.
7 Yna brenhin Israel a alwodd holl hen-
uriaid y wlad, ac a ddywedodd, Gwy-
byddwch, attolwg, a gwelwch mai ceisio
drygioni y mae hwn: canys efe a anfonodd
attaf fi am fy ngwragedd, ac am fy meib-
ion, ac am fy arian, ac am fy aur; ac ni's
† Heb. *[illegible] oddi wrtho.* † gommeddais ef.
8 Yr holl henuriaid hefyd, a'r holl bobl,
a ddywedasant wrtho ef, Na wrando, ac na
chyttuna *ag ef.*
9 Am hynny y dywedodd efe wrth gen-
hadau Benhadad, Dywedwch i'm har-
glwydd y brenhin, *Am* yr hyn oll yr anfon-
aist ti at dy was ar y cyntaf, mi a'i gwnaf:
ond ni allaf wneuthur y peth hyn. A'r
cenhadau a aethant, ac a ddygasant air iddo
drachefn.
10 A Benhadad a anfonodd atto ef, ac a
ddywedodd, a Fel hyn y gwnelo'r duwiau i a Pen. 19. 2.
mi, ac fel hyn y 'chwanegont, os bydd pridd
Samaria ddigon o ddyrneidiau i'r holl bobl
sydd ‡ i'm canlyn i. ‡ Heb. *wrth fy nhraed.*
11 A brenhin Israel a attebodd ac a ddy- Neu,
wedodd, Dywedwch *wrtho,* Nac ymffrostied Felly
yr hwn a wregyso *ei arfau,* fel yr hwn sydd Exod. 11. 8.
yn eu dïosg.
12 A phan glywodd efe'r § peth hyn (ac § Heb.
efe yn yfed, efe a'r brenhinoedd, yn y pe- *gair hwn.*
byll) efe a ddywedodd wrth ei weision, Ym-
osodwch. A hwy a ymosodasant yn erbyn
y ddinas.
13 ¶ Ac wele, rhyw brophwyd a nesaodd
at Ahab brenhin Israel, ac a ddywedodd,
Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Oni
welaist ti'r holl dyrfa fawr hon? wele, mi
a'i rhoddaf yn dy law di heddyw, fel y
gwypech mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.
14 Ac Ahab a ddywedodd, Trwy bwy?
Dywedodd yntau, Fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD; Trwy || wŷr ieuaingc tywysog- || Neu,
ion y taleithiau. Ac efe a ddywedodd, Pwy *weision.*
a † drefna'r fyddin? Dywedodd yntau, † Heb.
Tydi. *rwym y.*
15 Yna efe a gyfrifodd wŷr ieuaingc ty-
wysogion y taleithiau, ac yr oeddynt yn
ddau cant *a* deuddeg ar hugain: ac ar eu
hol hwynt efe a gyfrifodd yr holl bobl, cwbl
o feibion Israel, yn saith mil.
16 A hwy a aethant allan ganol dydd. A
Benhadad *oedd* yn yfed yn feddw yn y pe-
byll, efe a'r brenhinoedd, y deuddeg bren-
hin ar hugain oedd yn ei gynnorthwyo ef.
17 A gwŷr ieuaingc tywysogion y taleith-
iau a aethant allan yn gyntaf: a Benhadad
a anfonodd allan, a hwy a fynegasant iddo,
gan ddywedyd, Daeth gwŷr allan o Samaria.
18 Ac efe a ddywedodd, Os am heddwch
y daethant allan, deliwch hwynt yn fyw;
ac os i ryfel y daethant allan, deliwch hw-
ynt yn fyw.
19 Felly'r aethant hwy allan o'r ddinas,
*sef* gwŷr ieuaingc tywysogion y taleithiau,
a'r llu yr hwn *oedd* ar eu hol hwynt.
20 A hwy a laddasant bawb ei wr; a'r
Syriaid a ffoisant, ac Israel a'u herlidiodd
hwynt: a Benhadad brenhin Syria a ddi-
angodd ar farch, gyd â'r gwŷr meirch.
21 A brenhin Israel a aeth allan, ac a
darawodd y meirch a'r cerbydau, ac a ladd-
odd y Syriaid â lladdfa fawr.
22 ¶ A'r prophwyd a nesaodd at fren-
hin Israel, ac a ddywedodd wrtho, Dos,
ymgryfhâ, gwybydd hefyd, ac edrych
beth a wnelech: canys ym mhen y flwydd-
yn brenhin Syria a ddaw i fynu i'th er-
byn di.
23 A gweision brenhin Syria a ddywed-
asant wrtho ef, Duwiau'r mynyddoedd *yw*
eu duwiau hwynt, am hynny trech fuant nâ
ni: ond ymladdwn â hwynt yn y gwastad-
edd, a ni a'u gorthrechwn hwynt.
24 A gwna hyn; Tynn ymaith y bren-
hinoedd bob un o'i le, a gosod gapteniaid yn
eu lle hwynt.
25 Rhifa hefyd it' lu, fel y llu a ‡ gollaist, ‡ Heb.
meirch am feirch, a cherbyd am gerbyd: a *gwympodd.*
ni a ymladdwn â hwynt yn y gwastadtir,
ac a'u gorthrechwn hwynt. Ac efe a wran-

dawodd ar eu llais hwynt, ac a wnaeth
felly.
900. 26 Ac ym mhen y flwyddyn Benhadad a
gyfrifodd y Syriaid, ac a aeth i fynu i Aphec,
i † ryfela yn erbyn Israel. † Heb. *ryfel ag Israel.*
27 A meibion Israel a gyfrifwyd, ac oedd-
ynt oll yn bresennol, ac a aethant i'w cyf-
arfod hwynt: a meibion Israel a wersyll-
asant ar eu cyfer hwynt, fel dwy ddiadell
fechan o eifr; a'r Syriaid oedd yn llenwi 'r
wlad.
28 ¶ A gwr i Dduw a nesaodd, ac a
lefarodd wrth frenhin Israel, ac a ddywed-
odd, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; O
herwydd dywedyd o'r Syriaid, Duw 'r my-
nyddoedd *yw* 'r ARGLWYDD, ac nid Duw 'r
dyffrynoedd *yw* efe; am hynny y rhoddaf yr
holl dyrfa fawr hon i'th law di, *a* chwi a
gewch wybod mai myfi *yw* 'r ARGLWYDD.
29 A hwy a wersyllasant y naill ar gyfer
y llall saith niwrnod. Ac ar y seithfed dydd
y rhyfel a aeth ynghŷd: a meibion Israel a
laddasant o'r Syriaid gan mil o wŷr traed
mewn un diwrnod.
30 A'r lleill a ffoisant i Aphec, i'r ddinas;
a'r mur a syrthiodd ar saith mil ar hugain
o'r gwŷr a adawsid: a Benhadad a ffodd,
ac a ddaeth i'r ddinas o 'stafell i 'stafell.
31 ¶ A'i weision a ddywedasant wrtho,
Wele yn awr, clywsom am frenhinoedd
tŷ Israel, mai brenhinoedd trugarog *ydynt*
hwy: gosodwn, attolwg, sachliain am ein
llwynau, a rhaffau am ein pennau, ac awn
at frenhin Israel; ond odid efe a geidw dy
einioes di.
32 Yno y gwregysasant sachliain am eu
llwynau, a rhaffau am eu pennau, ac a
ddaethant at frenhin Israel, ac a ddywedas-
ant, Benhadad dy was a ddywed, Attolwg
gâd i mi fyw. Dywedodd yntau, *A ydyw*
efe etto yn fyw? fy mrawd *yw* efe.
33 A'r gwŷr oedd yn disgwyl yn ddyfal a
*ddeuai dim* oddi wrtho ef, ac a'i cippiasant
ar frys: ac a ddywedasant, Dy frawd Ben-
hadad. Dywedodd yntau, Ewch, dygwch
ef. Yna Benhadad a ddaeth allan atto ef;
ac efe a barodd iddo ddyfod i fynu i'r
cerbyd.
34 A *Benhadad* a ddywedodd wrtho, Y
dinasoedd a ddug fy nhad i oddi ar dy dad
di, a roddaf drachefn; a chai wneuthur
heolydd it' yn Damascus, fel y gwnaeth fy
nhad yn Samaria. A *dywedodd Ahab,* Mi
a'th ollyngaf dan yr ammod *hwn.* Felly
efe a wnaeth gyfammod ag ef, ac a'i goll-
yngodd ef ymaith.
b 2 Bren. 2, 3, 5, 7, 15. 35 ¶ A rhyw wr o b feibion y prophwydi
c Pen. 13. 17, 18. a ddywedodd wrth ei gymmydog c trwy
air yr ARGLWYDD, Taro fi, attolwg. A'r
gwr a wrthododd ei daro ef.
36 Dywedodd yntau wrtho, O herwydd
na wrandewaist ar lais yr ARGLWYDD,
wele, pan elech oddi wrthyf, llew a'th ladd
d Pen. 13. 24. di. Ac efe a aeth oddi wrtho ef, a d llew
a'i cyfarfu ef, ac a'i lladdodd.
37 Yna efe a gafodd wr arall, ac a ddy-
wedodd, Taro fi, attolwg. A'r gwr a'i ta-
rawodd ef, gan *ei* daro a'i archolli.
38 Felly'r prophwyd a aeth ymaith, ac
a safodd o flaen y brenhin ar y ffordd, ac a
ymddieithrodd â lludw ar ei wyneb.
e Edrych 2 Sam. 12. 1, &c. 39 A e phan ddaeth y brenhin heibio, efe
a lefodd ar y brenhin, ac a ddywedodd, Dy
was a aeth i ganol y rhyfel, ac wele, gwr a
drodd heibio, ac a ddug wr attaf fi, ac a
ddywedodd, Cadw 'r gwr hwn: os gan golli
y cyll efe, yna y bydd dy einioes di yn lle
ei einioes ef, neu ti a ‡ deli dalent o arian. ‡ Heb. *bwysi.*
40 A thra yr oedd dy was yn ymdrôi yma
ac acw, § efe a ddiangodd. A brenhin Is- § Heb. *nid oedd efe.*
rael a ddywedodd wrtho, Felly *y bydd* dy
farn di; ti a'i rhoddaist *ar lawr.*
41 Ac efe a frysiodd, ac a dynnodd ym-
aith y lludw oddi ar ei wyneb: a brenhin
Israel a'i hadnabu ef, mai o'r prophwydi 'r
*oedd* ef.
42 Ac efe a ddywedodd wrtho, Fel hyn
y dywed yr ARGLWYDD; f O herwydd it' f Pen. 22. 31—37.
ollwng ymaith o'*th* law y gwr a nodais
i'w ddifetha, dy einioes di fydd yn lle ei
einioes ef, a'th bobl di yn lle ei bobl ef.
43 A brenhin Israel a aeth i'w dŷ ei hun
yn drist ac yn ddigllon, ac a ddaeth i Sa-
maria.

## PEN. XXI.

1 *Ahab yn athrist am ei naccâu o winllan Na-* Sul 10 ar ol y Drindod, B.
*both.* 5 *Naboth, ar lythyrau Jezebel, yn* Mai 8. P.
*cael barn i farw am gabledd;* 15 *ac Ahab*
*yn perchenogi ei winllan ef.* 17 *Elias yn*
*datgan barn Duw yn erbyn Ahab a Jezebel.*
25 *A Duw, ar edifeirwch Ahab, yn oedi ei*
*farnedigaeth.*

A Digwyddodd ar ol y pethau hyn, fod 899.
gwinllan gan Naboth y Jezreeliad, yr
hon *oedd* yn Jezreel, wrth balas Ahab bren-
hin Samaria.
2 Ac Ahab a lefarodd wrth Naboth, gan
ddywedyd, Dyro i mi dy a winllan, fel y a 1 Sam. 8. 14.
byddo hi i mi yn ardd lysiau, canys *y mae*
hi yn agos i'm tŷ i: a mi a roddaf i ti am
dani hi winllan well nâ hi; *neu,* os da fydd
† gennyt, rhoddaf i ti ei gwerth hi yn † Heb. *yn dy olwg.*
arian.
3 A Naboth a ddywedodd wrth Ahab, Na
atto 'r ARGLWYDD b i mi roddi tref-tadaeth b Lef. 25. 23. Num. 36. 7. Ezec. 46. 18.
fy hynafiaid i ti.
4 Ac Ahab a ddaeth i'w dŷ yn athrist ac
yn ddigllon, o herwydd y gair a lefarasai
Naboth y Jezreeliad wrtho ef; canys efe a
ddywedasai, Ni roddaf it' dref-tadaeth fy
hynafiaid. Ac efe a orweddodd ar ei wely,
ac a drodd ei wyneb ymaith, ac ni fwytâi
fara.
5 ¶ Ond Jezebel ei wraig a ddaeth atto
ef, ac a ddywedodd wrtho, Pa ham y mae
dy yspryd *mor* athrist, ac nad wyt yn bwytta
bara?
6 Ac efe a ddywedodd wrthi, O herwydd
i mi lefaru wrth Naboth y Jezreeliad, a dy-
wedyd wrtho, Dyro i mi dy winllan er arian:
neu, os mynni di, rhoddaf it' winllan am
dani. Ac efe a ddywedodd, Ni roddaf it'
fy ngwinllan.
7 A Jezebel ei wraig a ddywedodd wrtho,
Ydwyt ti yn awr yn teyrnasu ar Israel? cy-
fod, bwytta fara, a llawenyched dy galon;
myfi a roddaf i ti winllan Naboth y Jez-
reeliad.
8 Felly hi a 'sgrifenodd lythyrau yn enw
Ahab, ac a'u seliodd â'i sel ef, ac a an-
fonodd y llythyrau at yr henuriaid, ac at y
pennaethiaid *oedd* yn ei ddinas yn trigo gyd
â Naboth.
9 A hi a 'sgrifenodd yn y llythyrau, gan
ddywedyd, Cyhoeddwch ympryd, a gosod-
wch Naboth uwch ben y bobl.
10 Cyflëwch *hefyd* ddau wr, o feibion y c Exod. 22. 28.
fall, gyferbyn ag ef, i dystiolaethu i'w er- Lef. 24. 15, 16.
byn ef, gan ddywedyd, Ti c a geblaist
Dduw a'r brenhin. Ac *yna* dygwch ef Act. 6. 11.
allan, a d llabyddiwch ef, fel y byddo efe d Lef. 24. 14.
marw.

11 A gwŷr ei ddinas, *sef* yr henuriaid a'r
pennaethiaid, y rhai oedd yn trigo yn ei
ddinas ef, a wnaethant yn ol yr hyn a an-
fonasai Jezebel attynt hwy, *ac* yn ol yr hyn
oedd ysgrifenedig yn y llythyrau a anfon-
asai hi attynt hwy.
12 Cyhoeddasant ympryd, a chyfleasant
Naboth uwch ben y bobl.
13 A dau wr, o feibion y fall, a ddaethant,
ac a eisteddasant ar ei gyfer ef: a gwŷr y
fall a dystiolaethasant yn ei erbyn ef, *sef* yn
erbyn Naboth, ger bron y bobl, gan ddy-
wedyd, Naboth a gablodd DDUW a'r bren-
899. hin. Yna hwy a'i dygasant ef allan o'r
[e] Edrych ddinas, ac a'i llabyddiasant [e] ef â meini, fel
1 Bren. 9. 26. y bu efe farw.
14 Yna 'r anfonasant hwy at Jezebel, gan
ddywedyd, Naboth a labyddiwyd, ac a fu
farw.
15 ¶ A phan glybu Jezebel labyddio Na-
both, a'i farw, Jezebel a ddywedodd wrth
Ahab, Cyfod, perchennoga winllan Naboth
y Jezreeliad, yr hwn a wrthododd *ei* rhoddi
i ti er arian; canys nid byw Naboth, eithr
marw yw.
16 A phan glybu Ahab farw Naboth,
Ahab a gyfododd i fyned i wared i winllan
Naboth y Jezreeliad, i gymmeryd meddiant
ynddi.
17 ¶ A gair yr ARGLWYDD a ddaeth at
Elïas y Thesbiad, gan ddywedyd,
18 Cyfod, dos i wared i gyfarfod Ahab
brenhin Israel, yr hwn *sydd* yn Samaria:
wele *efe* yngwinllan Naboth, yr hon yr aeth
efe i wared iddi i'w meddiannu.
19 A llefara wrtho ef, gan ddywedyd, Fel
hyn y dywed yr ARGLWYDD, A leddaist
ti, ac a feddiennaist hefyd? Llefara hefyd
wrtho ef, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed
[f] Pen. 22. yr ARGLWYDD, Yn y fan lle y llyfodd y
38 cwn waed Naboth, [f] y llyf cwn dy waed di-
thau hefyd.
20 A dywedodd Ahab wrth Elïas, A gef-
aist ti fi, O fy ngelyn? Dywedodd yntau,
[g] 2 Bren. Cefais: oblegid [g] i ti ymwerthu i wneuthur
17. 17. Rhuf. 7. 14. yr hyn sydd ddrwg yngolwg yr AR-
GLWYDD.
[h] Pen. 14. 10. 21 Wele [h] fi yn dwyn drwg arnat ti, a mi
2 Bren. 9. a dynnaf ymaith dy hiliogaeth di, ac a
8. dorraf oddi wrth Ahab [i] yr hwn a biso ar
[i] 1 Sam. bared, [k] y gwarchaeedig hefyd, a'r gwe-
25. 22. ddilledig yn Israel:
[k] Pen. 14. 22 A mi a wnaf dy dŷ di fel tŷ [l] Jeroboam
10. mab Nebat, ac fel tŷ [m] Baasa mab Ahïah, o
[l] Pen. 15. herwydd y digter trwy 'r hwn *y'm* digiaist,
29. ac y gwnaethost i Israel bechu.
[m] Pen. 16. 23 Am [n] Jezebel hefyd y llefarodd yr
3, 11.
[n] 2 Bren. 9. ARGLWYDD, gan ddywedyd, Y cwn a
36. fwytty Jezebel wrth † fur Jezreel.
† Neu, *glawdd.* 24 [o] Y cwn a fwytty yr hwn a fyddo
marw o'r eiddo Ahab yn y ddinas: a'r
[o] Pen. 14. 11. a 16. 4. hwn a fyddo marw yn y maes a fwytty
adar y nefoedd.
[p] Pen. 16. 25 ¶ Dïau [p] na bu *neb* fel Ahab, y hwn
30, &c a ymwerthodd i wneuthur drwg yngolwg yr
ARGLWYDD: o herwydd Jezebel ei wraig
a'i hannogai ef.
26 Ac efe a wnaeth yn ffiaidd iawn, gan
[q] Gen. 15. fyned ar ol delwau, yn ol *yr hyn* oll [q] a
16. wnaeth yr Amoriaid, y rhai a yrrodd yr AR-
GLWYDD allan o flaen meibion Israel.
27 A phan glybu Ahab y geiriau hyn, efe
a rwygodd ei ddillad, ac a osododd sach-
lïain am ei gnawd, ac a ymprydiodd, ac a
orweddodd mewn sachlïain, ac a gerddodd
yn araf.
28 A gair yr ARGLWYDD a ddaeth at
Elïas y Thesbiad, gan ddywedyd,
29 Oni weli di fel yr ymostwng Ahab ger
fy mron? am iddo ymostwng ger fy mron i,
ni ddygaf y drwg yn ei ddyddiau ef; *ond*
[r] yn nyddiau ei fab ef y dygaf y drwg ar ei [r] 2 Bren.
dŷ ef. 9. 25.

## PEN. XXII.

1 *Ahab wedi ei dwyllo gan y gau-brophwydi,* Sul 10 ar
*yn ol gair Micheah, yn cael ei ladd yn Ra-* ol y Drindod, P.
*moth-Gilead.* 37 *Y cwn yn llyfu ei waed* Mai 9. B.
*ef, ac Ahazïah yn teyrnasu ac ei ol ef.*
41 *Daionus lywodraeth Jehosaphat,* 45 *a'i*
*weithredoedd.* 50 *Jehoram yn frenhin ar*
*ei ol ef.* 51 *Drygionus lywodraeth Ahazïah.*

ABuant yn aros dair blynedd heb ryfel 897.
rhwng Syria ac Israel.
2 Ac yn y drydedd flwyddyn, [a] Jehosa- [a] 2 Chron.
phat brenhin Judah a ddaeth i wared at 18. 1, &c.
frenhin Israel.
3 (A brenhin Israel a ddywedodd wrth ei
weision, Oni wyddoch mai eiddo ni *yw*
Ramoth-Gilead, a'n *bod* ni yn tewi, heb ei
dwyn hi o law brenhin Syria?)
4 Ac efe a ddywedodd wrth Jehosaphat,
A ai di gyd â mi i ryfel i Ramoth-Gilead?
A Jehosaphat a ddywedodd wrth frenhin
Israel, [b] *Yr ydwyf* fi fel tithau, fy mhobl i [b] 2 Bren. 3.
fel dy bobl dithau, fy meirch i fel dy feirch 7.
dithau.
5 Jehosaphat hefyd a ddywedodd wrth
frenhin Israel, Ymgynghora, attolwg, he-
ddyw â gair yr ARGLWYDD.
6 Yna brenhin Israel a gasglodd y pro-
phwydi, ynghylch pedwar cant o wŷr, ac a
ddywedodd wrthynt, A af fi yn erbyn Ra-
moth-Gilead i ryfel, neu a beidiaf fi? Dywed-
asant hwythau, Dos i fynu; canys yr AR-
GLWYDD a'i dyry hi yn llaw 'r brenhin.
7 A [c] Jehosaphat a ddywedodd, Onid *oes* [c] 2 Bren. 3.
yma *un* prophwyd i'r ARGLWYDD mwyach, 11.
fel yr ymgynghorem ag ef?
8 A brenhin Israel a ddywedodd wrth Je-
hosaphat, *Y mae* etto un gwr trwy 'r hwn
*y gallem* ymgynghori â'r ARGLWYDD: eithr
cas yw gennyf fi ef; canys ni phrophwyda
efe i mi ddaioni, namyn drygioni, Micheah
mab Jimlah *yw efe.* A dywedodd Jehosa-
phat, Na ddyweded y brenhin felly.
9 Yna brenhin Israel a alwodd ar † un o'i † Neu,
'stafellyddion, ac a ddywedodd, Prysura *Eunuch.*
*yma* Micheah fab Jimlah.
10 A brenhin Israel a Jehosaphat brenhin
Judah oeddynt yn eistedd bob un ar ei
deyrn-gadair, wedi gwisgo eu *brenhinol* wisg-
oedd, mewn llannerch *wrth* ddrws porth
Samaria; a'r holl brophwydi oedd yn pro-
phwydo ger eu bron hwynt.
11 A Sedecïah mab Cenaanah a wnaeth
iddo gyrn heiyrn; ac efe a ddywedodd,
Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD, A'r
rhai hyn y corni di y Syriaid, nes it' eu difa
hwynt.
12 A'r holl brophwydi oedd yn prophwy-
do fel hyn, gan ddywedyd, Dos i fynu i
Ramoth-Gilead, a llwydda: canys yr AR-
GLWYDD a'i dyry *hi* yn llaw 'r brenhin.
13 A'r gennad a aethai i alw Micheah a
lefarodd wrtho ef, gan ddywedyd, Wele yn
awr eiriau 'r prophwydi yn unair yn dda i'r
brenhin: bydded, attolwg, dy air dithau fel
gair un o honynt, a dywed y goreu.
14 A dywedodd Micheah, *Fel mai* byw 'r
ARGLWYDD, yr hyn a ddywedo yr AR-
GLWYDD wrthyf, hynny a lefaraf fi.

15 ¶ Felly efe a ddaeth at y brenhin. A'r
brenhin a ddywedodd wrtho, Micheah, a
awn ni i ryfel yn erbyn Ramoth-gilead,
ai peidio? Dywedodd yntau wrtho, Dos i
fynu, a llwydda: canys yr ARGLWYDD a'i
dyry *hi* yn llaw 'r brenhin.
16 A'r brenhin a ddywedodd wrtho, Pa
sawl gwaith y'th dynghedaf di, na ddywed-
ech wrthyf ond gwirionedd yn enw yr AR-
GLWYDD?
17 Ac efe a ddywedodd, Gwelais holl
d Mat. 9. 36. Israel d ar wasgar ar hŷd y mynyddoedd,
fel defaid ni *byddai* iddynt fugail. A dy-
wedodd yr ARGLWYDD, Nid *oes* feistr arn-
ynt hwy; dychweled pob un i'w dŷ ei hun
mewn heddwch.
18 A brenhin Israel a ddywedodd wrth
Jehosaphat, Oni ddywedais i wrthyt ti, na
phrophwydai efe ddaioni i mi, eithr dryg-
ioni?
19 Ac efe a ddywedodd, Clyw gan hynny
air yr ARGLWYDD: Gwelais yr AR-
e Job 1. 6. GLWYDD yn eistedd ar ei orseddfa, a e holl
a 2. 1. lu 'r nefoedd yn sefyll yn ei ymyl, ar ei law
Dan. 7. 10. ddehau ac ar ei law aswy.
Zec. 1. 10. Mat. 18. 10. 20 A'r ARGLWYDD a ddywedodd, Pwy
Heb. 1. 7, 14. a dwylla Ahab, fel yr elo efe i fynu ac y
syrthio yn Ramoth-gilead? Ac un a ddy-
wedodd fel hyn, ac arall oedd yn dywedyd
fel hyn.
21 Ac yspryd a ddaeth allan, ac a safodd
ger bron yr ARGLWYDD, ac a ddywedodd,
Myfi a'i twyllaf ef. A dywedodd yr AR-
GLWYDD wrtho, Pa fodd?
22 Dywedodd yntau, Mi a af allan, ac a
fyddaf yn yspryd celwyddog yngenau ei holl
f Barn. 9. 23. brophwydi ef. Ac efe a ddywedodd, f Twylli
a gorchfygi *ef*: dos ymaith, a gwna felly.
Job 12. 16. 23 Ac yn awr wele, yr ARGLWYDD a
Ezec. 14. 9. roddodd yspryd celwyddog yngenau dy holl
2 Thes. 2. 11. brophwydi hyn; a'r ARGLWYDD a lefarodd
ddrwg am danat ti.
24 Ond Sedecïah mab Cenaanah a nesa-
odd, ac a darawodd Micheah dan *ei* gern, ac
g 2 Chron. 18. 23. a ddywedodd, g Pa ffordd yr aeth yspryd yr
ARGLWYDD oddi wrthyf fi i ymddiddan â
thydi?
25 A Micheah a ddywedodd, Wele, ti a
gai weled y dwthwn hwnnw, pan elych di o
'stafell i 'stafell i ymguddio.
26 A brenhin Israel a ddywedodd, Cym-
mer Micheah, a dwg ef yn ei ol at Amon
tywysog y ddinas, ac at Joas mab y bren-
hin;
27 A dywed, Fel hyn y dywed y brenhin;
Rhowch hwn yn y carchardy, a bwydwch
ef â bara cystudd ac â dwfr blinder, nes i
mi ddyfod mewn heddwch.
28 A dywedodd Micheah, Os gan ddy-
chwelyd y dychweli di mewn heddwch, ni
lefarodd yr ARGLWYDD ynof fi. Dywed-
odd hefyd, Gwrandêwch *hyn* yr holl bobl.
29 Felly brenhin Israel a Jehosaphat
brenhin Judah a aethant i fynu i Ramoth-
gilead.
30 A brenhin Israel a ddywedodd wrth
† Neu, *pan newidiodd ei ddillad, a myned i'r rhyfel.* Jehosaphat, † Mi a newidiaf fy nillad, ac a
af i'r rhyfel; ond gwisg di dy ddillad *dy hun.*
A brenhin Israel h a newidiodd *ei ddillad*, ac
a aeth i'r rhyfel.
31 A brenhin Syria a orchymynasai i
h 2 Chron. 35. 22. dywysogion y cerbydau *oedd* ganddo (*sef*
deuddeg ar hugain) gan ddywedyd, Nac
ymleddwch â bychan nac â mawr, ond â
brenhin Israel yn unig.
32 A phan welodd tywysogion y cer-
bydau Jehosaphat, hwy a ddywedasant,
Diau brenhin Israel *yw* efe. A hwy a droi-
sant i ymladd yn ei erbyn ef: a Jehosaphat
i a waeddodd.
33 A phan welodd tywysogion y cerbydau i 2 Chron. 18. 31.
nad brenhin Israel oedd efe, hwy a ddych-
welasant oddi ar ei ol ef.
34 A *rhyw* wr a dynnodd mewn bwa ‡ ar ‡ Heb. *yn ei wir undeb.*
ei amcan, ac a darawodd frenhin Israel
rhwng § cyssylltiadau 'r llurig: am hynny § Heb. *y cyssylltau a'r ddwyfronneg.*
efe a ddywedodd wrth ei gerbydwr, Tro dy
law, a dwg fi allan o'r fyddin; canys fe a'm
clwyfwyd i.
35 A'r rhyfel a ‖ gryfhaodd y dwthwn ‖ Heb. *ddyrchafodd.*
hwnnw: a'r brenhin a gynhelid i fynu yn
ei gerbyd yn erbyn y Syriaid; ac efe a fu
farw gyd â'r hwyr: a gwaed yr archoll a
ffrydiodd i † ganol y cerbyd. † Heb. *fynwes.*
36 Ac fe aeth cyhoeddiad trwy 'r gwersyll
ynghylch machludiad yr haul, gan ddy-
wedyd, *Eled* pob un i'w ddinas, a phob un
i'w wlad ei hun.
37 ¶ Felly y bu farw 'r brenhin, ac y
daeth efe i Samaria; a hwy a gladdasant y
brenhin yn Samaria.
38 A golchwyd ei gerbyd ef yn llynn Sa-
maria; a'r cwn a lyfasant ei waed ef: yr
arfau hefyd a olchwyd; k yn ol gair yr k Pen. 21. 19.
ARGLWYDD, yr hwn a lefarasai efe.
39 A'r rhan arall o hanesion Ahab, a'r
hyn oll a wnaeth efe, a'r tŷ l ifori a adeilad- l Am. 3. 15.
odd efe, a'r holl ddinasoedd a adeiladodd
efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr
chronicl brenhinoedd Israel?
40 Felly Ahab a hunodd gyd â'i dadau;
ac Ahazïah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.
41 ¶ A m Jehosaphat mab Asa a aeth yn 897.
frenhin ar Judah yn y bedwaredd flwyddyn m 2 Chron. 20. 31.
i Ahab brenhin Israel.
42 Jehosaphat *oedd* fab pymtheng mlwydd 914.
ar hugain pan aeth efe yn frenhin; a phum
mlynedd ar hugain y teyrnasodd efe yn
Jerusalem. Ac enw ei fam ef *oedd* Azubah,
merch Silhi.
43 Ac efe a rodiodd yn holl ffordd Asa
ei dad, ni wyrodd efe oddi wrthi hi, gan
wneuthur *yr hyn oedd* union yngolwg yr
ARGLWYDD. Er n hynny ni thynnwyd n Pen. 15. 14.
ymaith yr uchelfeydd; y bobl oedd etto 'n 2 Bren. 12. 3.
offrymmu ac yn arogl-darthu yn yr uchel-
feydd.
44 A o Jehosaphat a heddychodd â bren- o 2 Chron. 19. 2.
hin Israel.
45 A'r rhan arall o hanes Jehosaphat, a'i
rymmusdra a wnaeth efe, a'r modd y rhyfel-
odd efe, onid *ydynt* hwy'n ysgrifenedig yn
llyfr chronicl brenhinoedd Judah?
46 A'r rhan arall p o'r sodomiaid a'r a p Pen. 15. 12.
adawyd yn nyddiau Asa ei dad ef, efe a'u
dileodd o'r wlad.
47 Yna nid *oedd* brenhin yn Edom: *ond* 913.
rhaglaw *oedd* yn *lle* brenhin. q 2 Chron. 20. 35.
48 q Jehosaphat ‡ r a wnaeth longau § s
môr i fyned i Ophir am aur: ond nid aeth- ‡ Neu, *oedd ganddo ddeg llong.*
ant; canys y llongau a ddrylliodd yn Ezion-
gaber.
49 Yna y dywedodd Ahazïah mab Ahab r Pen. 10. 22.
wrth Jehosaphat, Eled fy ngweision i gyd
â'th weision di yn y llongau: ond ni fynnai § *Tharsis.*
Jehosaphat. s 2 Chron. 20. 37.
50 ¶ A t Jehosaphat a hunodd gyd â'i 889.
dadau, ac a gladdwyd gyd â'i dadau yn t 2 Chron. 21. 1.
ninas Dafydd ei dad; a Jehoram ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.
51 ¶ u Ahazïah mab Ahab a aeth yn fren- 898.
hin ar Israel yn Samaria, yn y ddwyfed u Adn. 40.

flwyddyn ar bymtheg i Jehosaphat brenhin Judah; ac a deyrnasodd ar Israel ddwy flynedd.

52 Ac efe a wnaeth ddrwg yngolwg yr ARGLWYDD, ac a rodiodd yn ffordd ei dad, ac yn ffordd ei fam, ac yn ffordd Jeroboam mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu.

53 Canys efe a wasanaethodd Baal, ac a ymgrymmodd iddo, ac a ddigiodd ARGLWYDD DDUW Israel, yn ol yr hyn oll a wnaethai ei dad.

---

# ¶ Ail Lyfr y BRENHINOEDD; yr hwn a elwir hefyd, Pedwerydd Llyfr y BRENHINOEDD.

## PEN. I.

Mai 9. P.

*1 Moab yn gwrthryfela. 2 Ahaziah yn gyrru at Baal-zebub, ac yn cael ei farnu gan Elias. 5 Elias ddwywaith yn dwyn tân o'r nefoedd ar y rhai a anfonasai Ahaziah i'w ddal ef, 15 yn tosturio wrth y trydydd tywysog; a chwedi ei gysuro gan angel, yn dangos i'r brenhin ei farwolaeth. 17 Jehoram mab Ahab yn teyrnasu yn lle Ahaziah.*

Cyn Crist cylch 896.

YNA Moab a wrthryfelodd yn erbyn Israel, [a] wedi marwolaeth Ahab.

2 Ac Ahaziah a syrthiodd trwy ddellt o'i lofft, yr hon *oedd* yn Samaria, ac a glefychodd: ac efe a anfonodd genhadau, ac a ddywedodd wrthynt, Ewch, ac ymofynwch â Baal-zebub duw Ecron, a fyddaf fi byw o'r clefyd hwn.

[a] Pen. 3. 5.

3 Ac angel yr ARGLWYDD a ddywedodd wrth Elias y Thesbiad, Cyfod, dos i fynu i gyfarfod â chenhadau brenhin Samaria, a dywed wrthynt, Ai am nad *oedd* DUW yn Israel, yr ydych chwi yn myned i ymofyn â Baal-zebub duw Ecron?

4 Ac am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Ni ddisgyni o'r gwely y dringaist arno, eithr gan farw y byddi farw. Ac Elias a aeth ymaith.

5 ¶ A phan ddychwelodd y cenhadau atto ef, efe a ddywedodd wrthynt, Pa ham y dychwelasoch chwi?

6 A hwy a ddywedasant wrtho, Gwr a ddaeth i fynu i'n cyfarfod ni, ac a ddywedodd wrthym ni, Ewch, dychwelwch at y brenhin a'ch anfonodd, a lleferwch wrtho, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Ai am nad *oes* DUW yn Israel, yr ydwyt ti yn anfon i ymofyn â Baal-zebub duw Ecron? o herwydd hynny ni ddisgyni o'r gwely y dringaist arno, eithr gan farw y byddi farw.

7 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ddull *oedd ar* y gwr a ddaeth i fynu i'ch cyfarfod chwi, ac a lefarodd wrthych yr ymadroddion yma?

8 A hwy a ddywedasant wrtho, Gwr [b] blewog *oedd efe*, wedi ymwregysu hefyd â gwregys croen am ei lwynau. Dywedodd yntau, Elias y Thesbiad *oedd* efe.

[b] Edrych Zec. 13. 4. Mat. 3. 4.

9 Yna efe a anfonodd atto ef dywysog ar ddeg a deugain, ynghyd â'i ddeg a deugain: ac efe a aeth i fynu atto ef (ac wele ef yn eistedd ar ben bryn) ac a lefarodd wrtho, Ti wr DUW, y brenhin a lefarodd, Tyred i wared.

10 Ac Elias a attebodd ac a ddywedodd wrth dywysog y deg a deugain, Os gwr DUW *ydwyf* fi, [c] disgyned tân o'r nefoedd, ac ysed di a'th ddeg a deugain. A thân a ddisgynodd o'r nefoedd, ac a'i hysodd ef a'i ddeg a deugain.

[c] Luc 9. 54.

11 A'r *brenhin* a anfonodd eilwaith atto ef dywysog arall ar ddeg a deugain, â'i ddeg a deugain: ac efe a attebodd ac a ddywedodd, O wr DUW, fel hyn y dywedodd y brenhin, Tyred i wared yn ebrwydd.

12 Ac Elias a attebodd ac a ddywedodd wrthynt hwy, Os gwr DUW *ydwyf* fi, disgyned tân o'r nefoedd, ac ysed di a'th ddeg a deugain. A thân DUW a ddisgynodd o'r nefoedd, ac a'i hysodd ef a'i ddeg a deugain.

13 ¶ A'r *brenhin* a anfonodd etto y trydydd tywysog ar ddeg a deugain, â'i ddeg a deugain: a'r trydydd tywysog ar ddeg a deugain a aeth i fynu, ac a ddaeth ac a ymgrymmodd ar ei liniau ger bron Elias, ac a ymbiliodd ag ef, ac a lefarodd wrtho, O wr DUW, attolwg, bydded fy einioes i, ac einioes dy ddeg gwas a deugain hyn, [d] yn werthfawr yn dy olwg di.

[d] Psal. 72. 14.

14 Wele, disgynodd tân o'r nefoedd, ac a ysodd y ddau dywysog cyntaf ar ddeg a deugain, a'u deg a deugeiniau: am hynny yn awr bydded fy einioes i yn werthfawr yn dy olwg di.

15 Ac angel yr ARGLWYDD a lefarodd wrth Elias, Dos i wared gyd ag ef, nac ofna ef. Ac efe a gyfododd, ac a aeth i wared gyd ag ef at y brenhin.

16 Ac efe a ddywedodd wrtho, Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD, O herwydd it' anfon cenhadau i ymofyn â Baal-zebub duw Ecron (ai am nad *oes* DUW yn Israel i ymofyn â'i air?) am hynny ni ddisgyni o'r gwely y dringaist arno, eithr gan farw y byddi farw.

17 ¶ Felly efe a fu farw, yn ol gair yr ARGLWYDD yr hwn a lefarasai Elias: a [e] Jehoram a deyrnasodd yn ei le ef, yn yr ail flwyddyn i Jehoram fab Jehosaphat brenhin Judah; am nad oedd mab iddo ef.

[e] Pen. 3. 1.

18 A'r rhan arall o hanes Ahaziah y rhai a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr chronicl brenhinoedd Israel?

## PEN. II.

Dydd y Dyrchafael, P. Mai 10. B.

*1 Elias, wrth ganu'n iach i Eliseus, yn hollti'r Iorddonen â'i fantell; 9 a chwedi rhoi ei ddymuniad i Eliseus, yn cael ei ddwyn i'r nefoedd mewn cerbyd tanllyd. 12 Eliseus yn hollti'r Iorddonen â mantell Elias; ac eraill yn gwybod wrth hynny ei fod ef yn lle Elias. 16 Meibion y prophwydi yn mynnu chwilio am Elias, a heb ei gael ef. 19 Eliseus â halen yn iachâu'r dwfr. 23 Eirth yn distrywio'r plant a felldigasai Eliseus.*

A Phan oedd yr ARGLWYDD ar gymmeryd i fynu Elias mewn corwynt i'r nefoedd, aeth Elias ac Eliseus allan o Gilgal. 896.

2 Ac Elias a ddywedodd wrth Eliseus, [a] Aros, attolwg, yma: canys yr ARGLWYDD a'm hanfonodd i Bethel. Ac Eliseus a ddywedodd, *Fel mai* byw'r ARGLWYDD, ac [b] *mai* byw dy enaid dithau, nid ymadawaf â thi. Felly hwy a aethant i wared i Bethel.

[a] Edrych Ruth 1. 15. [b] 1 Sam. 1. 26. Adn. 4, 6. Pen. 4. 30.

3 A [c] meibion y prophwydi, y rhai *oedd* yn Bethel, a ddaethant allan at Eliseus, ac a ddywedasant wrtho, A wyddost ti mai heddyw y mae'r ARGLWYDD yn dwyn dy feistr † oddi arnat ti? Dywedodd

[c] 1 Bren. 20. 35. Adn. 5, 7, 15. Pen. 4. 1. a 9. 1. † Heb. *oddi ar dy ben di?*

yntau, Mi a wn *hynny* hefyd, tewch chwi
â son.
4 Ac Elias a ddywedodd wrtho, Aros yma,
attolwg, Eliseus; canys yr ARGLWYDD a'm
hanfonodd i Jericho. Dywedodd yntau,
*Fel mai* byw 'r ARGLWYDD, ac *mai* byw dy
enaid dithau, nid ymadawaf â thi. Felly
hwy a ddaethant i Jericho.
5 A meibion y prophwydi, y rhai *oedd* yn
Jericho, a ddaethant at Eliseus, ac a ddy-
wedasant wrtho, A wyddost ti mai heddyw
y mae 'r ARGLWYDD yn dwyn dy feistr
oddi arnat ti? Yntau a ddywedodd, Mi a
wn *hynny* hefyd, tewch chwi â son.
6 Ac Elïas a ddywedodd wrtho, Aros yma,
attolwg; canys yr ARGLWYDD a'm han-
fonodd i 'r Iorddonen. Dywedodd yntau,
*Fel mai* byw 'r ARGLWYDD, ac *mai* byw dy
enaid dithau, nid ymadawaf â thi. A hwy
a aethant ill dau rhagddynt.
7 A dengwr a deugain o feibion y pro-
† Neu, *mewn golwg,* neu, *i edrych.* phwydi a aethant, ac a safasant † ar gyfer
o bell: a hwy ill dau a safasant wrth yr
Iorddonen.
8 Ac Elïas a gymmerth ei fantell, ac a'i
plygodd ynghŷd, ac a darawodd y dyfro-
d Felly Exod. 14. 21. Jos. 3. 16. Adn. 14. edd, a d hwy a ymwahanasant yma ac accw,
fel yr aethant hwy trwodd ill dau ar *dir* sych.
9 ¶ Ac wedi iddynt fyned drosodd, Elïas
a ddywedodd wrth Eliseüs, Gofyn y peth
a wnelwyf i ti, cyn fy nghymmeryd oddi
wrthyt. A dywedodd Eliseüs, Bydded gan
hynny, attolwg, ddau parth o'th yspryd di
arnaf fi.
‡ Heb. *Caled y gwnaethost yn gofyn.* 10 Dywedodd yntau, ‡ Gofynaist beth
anhawdd: os gweli fi *wrth fy* nghymmeryd
oddi wrthyt, fe fydd it' felly; ac onid *ê*, ni
bydd.
11 Ac fel yr oeddynt hwy yn myned dan
e Pen. 6. 17. rodio ac ymddiddan, wele e gerbyd tanllyd,
a meirch tanllyd, a hwy a'u gwahanasant
f Eccl. 48. 9. hwynt ill dau. Ac f Elïas a ddyrchafodd
1 Mac. 2. 58. mewn corwŷnt i 'r nefoedd.
12 ¶ Ac Eliseüs oedd yn gweled, ac efe
g Pen. 13. 14. a lefodd, g Fy nhad, fy nhad, cerbyd Israel,
a'i farchogion. Ac ni's gwelodd ef mwy-
ach: ac efe a ymaflodd yn ei ddillad, ac a'u
rhwygodd yn ddeuddarn.
13 Ac efe a gododd i fynu fantell Elïas a
syrthiasai oddi wrtho ef; ac a ddychwelodd,
ac a safodd wrth fin yr Iorddonen.
14 Ac efe a gymmerth fantell Elïas a
syrthiasai oddi wrtho ef, ac a darawodd y
dyfroedd, ac a ddywedodd, Pa le *y mae*
ARGLWYDD DDUW Elïas? Ac wedi iddo
h Adn. 8. yntau daraw 'r dyfroedd, h hwy a wahanwyd
yma ac accw. Ac Eliseüs a aeth drosodd.
15 A phan welodd meibion y prophwydi
i Adn. 7. ef, y rhai *oedd* yn Jericho i ar *ei* gyfer, hwy a
ddywedasant, Gorphwysodd yspryd Elïas ar
Eliseüs. A hwy a ddaethant i'w gyfarfod
ef, ac a ymgrymmasant hyd lawr iddo.
16 ¶ A hwy a ddywedasant wrtho, Wele
yn awr, y mae gyd â'th weision ddeg a
§ Heb. *feibion nerth.* deugain o § wŷr cryfion; elont yn awr,
ni a attolygwn, a cheisiant dy feistr: rhag
k Edrych 1 Bren. 18. 12. i k yspryd yr ARGLWYDD ei ddwyn ef,
a'i fwrw ar ‖ ryw fynydd, neu mewn
rhyw ddyffryn. Dywedodd yntau, Na an-
Ezec. 8. 3. Bel a'r Ddraig 36. Act. 8. 39. fonwch.
17 Etto buant daer arno, nes cywilyddio
*o hono*, ac efe a ddywedodd, Anfonwch.
‖ Heb. *un o'r mynyddoedd.* A hwy a anfonasant ddengwr a deugain,
y rhai a'i ceisiasant ef dridiau, ond ni's
cawsant.
18 A hwy a ddychwelasant atto ef, ac efe
oedd yn aros yn Jericho; ac efe a ddywed-
odd wrthynt hwy, Oni ddywedais i wrthych,
Nac ewch?
19 ¶ A gwŷr y ddinas a ddywedasant
wrth Eliseüs, Wele, attolwg, ansawdd y
ddinas, da *yw*, fel *y mae* fy arglwydd yn
gweled: ond y dyfroedd *sydd* ddrwg, a'r tir
yn † ddiffaeth. † Heb. *erthylu.*
20 Ac efe a ddywedodd, Dygwch i mi
phïol newydd, a dodwch ynddi halen. A
hwy a'i dygasant atto ef.
21 Ac efe a aeth at ffynhonnell y dyfr-
oedd, ac l a fwriodd yr halen yno, ac a l Edrych
ddywedodd, Fel hyn y dywedodd yr AR- Exod. 15. 25.
GLWYDD, Mi a iacheais y dyfroedd hyn; Pen. 4. 41.
ni bydd oddi yno farwolaeth mwyach, na a 6. 6.
diffrwythdra. Ioan 9. 6.
22 Felly y iachawyd y dyfroedd hyd y
dydd hwn, yn ol gair Eliseüs yr hwn a
ddywedasai efe.
23 ¶ Ac efe a aeth i fynu oddi yno i
Bethel: ac fel yr oedd efe yn myned i fynu
ar hŷd y ffordd, plant bychain a ddaeth
allan o'r ddinas, ac a'i gwatworasant ef, ac
a ddywedasant wrtho ef, Dos i fynu moelyn,
dos i fynu moelyn.
24 Ac efe a drodd yn ei ol, ac a edrychodd
arnynt, ac a'u melldithiodd yn enw 'r AR-
GLWYDD. A dwy arth a ddaeth allan o'r
goedwig, ac a ddrylliodd o honynt ddau
blentyn a deugain.
25 Ac efe a aeth oddi yno i fynydd
Carmel, ac oddi yno efe a ddychwelodd i
Samaria.

## PEN. III.

1 *Jehoram yn teyrnasu.* 4 *Mesa yn gwrth-* Mai 10. P.
*ryfela.* 6 *Jehoram, a Jehosaphat, a bren-*
*hin Edom mewn cyfyngder am ddwfr,*
*trwy Eliseüs yn cael dwfr, ac addewid o*
*fuddugoliaeth.* 21 *Y Moabiaid, wedi eu*
*twyllo gan liw y dwfr wrth ddyfod i*
*yspeilio, yn cael eu gorchfygu.* 26 *Brenhin*
*Moab, trwy aberthu mab brenhin Edom, yn*
*gyrru Israel i'w gwlad.*

A Jehoram mab Ahab a aeth yn frenhin 896.
ar Israel yn Samaria, yn y ddeu-
nawfed flwyddyn i Jehosaphat brenhin
Judah, ac a deyrnasodd ddeuddeng mly-
nedd.
2 Ac efe a wnaeth ddrwg yngolwg yr
ARGLWYDD, ond nid fel ei dad nac fel
ei fam: canys efe a fwriodd ymaith ddelw
Baal, a yr hon a wnelsai ei dad. a 1 Bren.
3 Etto efe a lynodd wrth b bechodau 16. 31, 32.
Jeroboam mab Nebat, yr hwn a wnaeth i b 1 Bren.
Israel bechu: ni chiliodd efe oddi wrthynt 12. 28, 31,
hwy. 32.
4 ¶ A Mesa brenhin Moab oedd berchen
defaid, ac a dalai i frenhin Israel gan-mil o
c ŵyn, a chan-mil o hyrddod gwlanog. c Edrych
5 Ond d wedi marw Ahab, brenhin Moab Esay 16. 1
a wrthryfelodd yn erbyn brenhin Israel. d Pen. 1. 1.
6 ¶ A'r brenhin Jehoram a aeth allan y
pryd hynny o Samaria, ac a gyfrifodd holl
Israel.
7 Efe a aeth *hefyd* ac a anfonodd at 895.
Jehosaphat brenhin Judah, gan ddywedyd,
Brenhin Moab a wrthryfelodd i'm herbyn
i: a ddeui di gyd â mi i ryfel yn erbyn
Moab? Dywedodd yntau, Mi af i fynu;
e myfi *a fyddaf* fel tithau, fy mhobl i fel e 1 Bren.
dy bobl dithau, fy meirch i fel dy feirch 22. 4.
dithau.
8 Ac efe a ddywedodd, Pa ffordd yr awn
ni i fynu? Dywedodd yntau, Ffordd ani-
alwch Edom.

9 Felly yr aeth brenhin Israel, a brenhin Judah, a brenhin Edom; ac a aethant o amgylch ar eu taith saith niwrnod: ac nid oedd dwfr i'r fyddin, nac i'r anifeiliaid *oedd* † yn eu canlyn hwynt.

† Heb. *wrth eu traed.* Edrych Exod. 11. 8.

10 A brenhin Israel a ddywedodd, Gwae *fi*, o herwydd i'r ARGLWYDD alw y tri brenhin hyn ynghŷd i'w rhoddi yn llaw Moab.

11 A [f] Jehosaphat a ddywedodd, Onid *oes* yma brophwyd i'r ARGLWYDD, fel yr ymofynom ni â'r ARGLWYDD trwyddo ef? Ac un o weision brenhin Israel a attebodd ac a ddywedodd, *Y mae* yma Eliseus mab Saphat, yr hwn a dywalltodd ddwfr ar ddwylaw Elïas.

[f] 1 Bren. 22. 7.

12 A Jehosaphat a ddywedodd, Y mae gair yr ARGLWYDD gyd ag ef. Felly brenhin Israel, a Jehosaphat, a brenhin Edom, a aethant i wared atto ef.

13 Ac Eliseus a ddywedodd wrth frenhin Israel, Beth *sydd* i mi *a wnelwyf* â thi? [g] dos at [h] brophwydi dy dad, ac at brophwydi dy fam. A brenhin Israel a ddywedodd wrtho, Nag ê: canys yr ARGLWYDD a alwodd y tri brenhin hyn ynghŷd i'w rhoddi yn llaw Moab.

[g] Felly Barn. 10. 14. Ruth 1. 15
[h] 1 Bren. 18. 19.

14 Ac Eliseus a ddywedodd, [i] *Fel mai* byw ARGLWYDD y lluoedd, yr hwn yr ydwyf yn sefyll ger ei fron, oni bai fy mod i yn perchi wyneb Jehosaphat brenhin Judah, nid edrychaswn i arnat ti, ac ni'th welswn.

[i] 1 Bren. 17. 1. Pen. 5. 16.

15 Ond yn awr dygwch i mi [k] gerddor. A phan ganodd y cerddor, daeth [l] llaw'r ARGLWYDD arno ef.

[k] Edrych 1 Sam. 10. 5.
[l] Ezec. 1. 3. a 3. 14, 22. a 8. 1.

16 Ac efe a ddywedodd, Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD; [m] Gwna'r dyffryn hwn yn llawn ffosydd.

[m] Edrych Pen. 4. 3.

17 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Ni welwch wŷnt, ac ni welwch wlaw; etto y dyffryn hwn a lenwir o ddwfr, fel yr yfoch chwi, a'ch anifeiliaid, a'ch ysgrubliaid.

18 A pheth ysgafn yw hyn yngolwg yr ARGLWYDD: efe a ddyry Moab yn eich llaw chwi hefyd.

19 A chwi a darêwch bob dinas gaerog, a phob dinas ddetholedig; a phob pren têg a fwriwch chwi i lawr; yr holl ffynhonnau dyfroedd hefyd a gauwch chwi, a phob darn o dir da a ddifwynwch chwi â cherrig.

20 A'r bore pan offrymmwyd y bwydoffrwm, wele, ddyfroedd yn dyfod o ffordd Edom; a'r wlad a lanwyd o ddyfroedd.

21 ¶ A phan glybu'r holl Moabiaid fod y brenhinoedd hynny wedi dyfod i fynu i ymladd yn eu herbyn hwynt, y galwyd ynghŷd bawb a'r a allai ‡ wisgo arfau, ac uchod, a hwy a safasant ar y terfyn.

‡ Heb. *yn ymregysu â gwregys.*

22 A hwy a gyfodasant yn fore, a'r haul a gyfodasai ar y dyfroedd; a'r Moabiaid a ganfuant ar *eu* cyfer y dyfroedd yn goch fel gwaed:

23 A hwy a ddywedasant, Gwaed *yw* hwn: gan ddifetha y difethwyd y brenhinoedd, a hwy a darawsant bawb eu gilydd: am hynny yn awr at yr anrhaith, Moab.

24 A phan ddaethant at wersyll Israel, yr Israeliaid a gyfodasant, ac a darawsant y Moabiaid, fel y ffoisant o'u blaen hwynt: a hwy a § aethant rhagddynt, gan daro'r Moabiaid yn *eu* gwlad *eu hun.*

§ Neu, *darawsant ynddi, gan, &c.*

25 A hwy a ddistrywiasant y dinasoedd, ac i bob darn o dir da y bwriasant bawb ei garreg, ac a'i llanwasant; a phob ffynnon ddwfr a gauasant hwy, a phob pren da a gwympasant hwy i lawr: ‖ yn unig yn Cir-haraseth y gadawsant ei cherrig; etto y rhai oedd yn taflu a'i hamgylchynasant, ac a'i tarawsant hi.

‖ Heb. *nes iddo adael ei cherrig yn Cir-haraseth.*

26 ¶ A phan welodd brenhin Moab fod y rhyfelwŷr yn drech nag ef, efe a gymmerth saith gant o wŷr gyd ag ef yn tynnu cleddyf, i ruthro ar frenhin Edom: ond ni's gallasant hwy.

27 Yna efe a gymmerodd ei fab cyntafanedig ef, yr hwn oedd i deyrnasu yn ei le ef, [n] ac a'i hoffrymmodd ef yn boeth-offrwm ar y mur. A bu llid mawr yn erbyn Israel: [o] a hwy a aethant ymaith oddi wrtho ef, ac a ddychwelasant i'w gwlad *eu hun.*

[n] Amos 2. 1.
[o] Pen. 8. 20.

## PEN. IV.

1 *Eliseus trwy rad penllad yn amlhâu olew y wraig weddw ddyledog.* 12 *Yn cael mab i'r Sunamees,* 18 *ac yn ei gyfodi ef o farw i fyw:* 38 *yn iachâu'r cawl yn Gilgal:* 42 *yn porthi can-wr ag ugain torth o fara.* Mai 11. B.

A Rhyw wraig o wragedd [a] meibion y prophwydi a lefodd ar Eliseus, gan ddywedyd, Dy was fy ngwr a fu farw; a thi a wyddost fod dy was yn ofni'r ARGLWYDD: a'r echwynwr a ddaeth [b] i gymmeryd fy nau fab i *i fod* yn gaethion iddo. 895.

[a] 1 Bren. 20. 35.
[b] Mat. 18. 25. Edrych Lef. 25. 39.

2 Ac Eliseus a ddywedodd wrthi, Beth a wnaf fi i ti? mynega i mi, beth sydd gennyt ti yn *dy* dŷ? Dywedodd hithau, Nid *oes* dim gan dy law-forwyn yn tŷ, ond ystenaid o olew.

3 Ac efe a ddywedodd, Dos, cais it' lestri oddi allan gan dy holl gymmydogion, *sef* llestri gweigion, [c] † nid ychydig.

[c] Edrych Pen. 3. 17.
† Neu, *na phrinhâ.*

4 A phan ddelych i mewn, cau'r drws arnat, ac ar dy feibion, a thywallt i'r holl lestri hynny; a dod heibio yr hwn *a fyddo* llawn.

5 Felly hi a aeth oddi wrtho ef, ac a gauodd y drws arni, ac ar ei meibion: a hwynthwy a ddygasant *y llestri* atti hi; a hithau a dywalltodd.

6 Ac wedi llenwi'r llestri, hi a ddywedodd wrth ei mab, Dwg i mi etto lestr. Dywedodd yntau wrthi, Nid *oes* mwyach *un* llestr. A'r olew a beidiodd.

7 Yna hi a ddaeth ac a fynegodd i wr Duw. Dywedodd yntau, Dos, gwerth yr olew, a thâl ‡ dy ddyled; a bydd di fyw, ti a'th feibion, ar y rhan arall.

‡ Neu, *i'th ddyledwr.*

8 ¶ A bu *ar ryw* ddiwrnod i Eliseus dramwyo i [d] Sunem; ac yno'r *oedd* gwraig oludog, yr hon § a'i cymhellodd ef i fwytta bara. A chynnifer gwaith ag y tramwyai efe heibio, efe a droai yno i fwytta bara.

[d] Jos. 19. 18.
§ Heb. *a ymaflodd ynddo.*

9 A hi a ddywedodd wrth ei gwr, Wele yn awr, mi a wn mai gwr sanctaidd i Dduw *ydyw* hwn, sydd yn cynniwair heibio i ni yn wastadol.

10 Gwnawn, attolwg, ystafell fechan ar y mur; a gosodwn iddo yno wely, a bwrdd, a 'stol, a chanhwyllbren: fel y tro efe yno, pan ddelo efe attom ni.

11 Ac ar ddydd-gwaith efe a ddaeth yno, ac a drodd i'r ystafell, ac a orphwysodd yno.

12 Ac efe a ddywedodd wrth Gehazi ei was, Galw ar y Sunamees hon. Yntau a alwodd arni hi: hithau a safodd ger ei fron ef.

13 Dywedodd hefyd wrtho, Dywed yn

awr wrthi hi, Wele, ti a ofelaist trosom ni â'r holl ofal yma; beth *sydd i'w* wneuthur erot ti? a oes *a fynnych* di ei ddywedyd wrth y brenhin, neu wrth dywysog y llu? Hithau a ddywedodd, Ynghanol fy mhobl yr ydwyf fi yn trigo.

14 Ac efe a ddywedodd, Beth gan hynny *sydd* i'w wneuthur erddi hi? A Gehazi a ddywedodd, Yn ddiau nid *oes* iddi fab, a'i gwr *sydd* hen.

15 Ac efe a ddywedodd, Galw hi. Ac efe a'i galwodd hi; a hi a safodd yn y drws.

16 Ac efe a ddywedodd, [e] Ynghylch † y pryd hyn wrth amser bywiolaeth, ti a gofleidi fab. Hithau a ddywedodd, Nag e, fy arglwydd, gwr Duw, [f] na ddywed gelwydd i'th law-forwyn.

[e] Gen. 18. 10, 14.
† Heb. *yr amser nodedig.*
[f] Adn. 28.

17 A'r wraig a feichiogodd, ac a ddug fab y pryd hwnnw, yn ol amser bywiolaeth yr hyn a lefarasai Elisëus wrthi hi.

18 ¶ A'r bachgen a gynnyddodd, ac a aeth ddydd-gwaith allan at ei dad at y medelwyr.

19 Ac efe a ddywedodd wrth ei dad, Fy mhen, fy mhen. Dywedodd yntau wrth langc, Dwg ef at ei fam.

20 Ac efe a'i cymmerth, ac a'i dug ef at ei fam. Ac efe a eisteddodd ar ei gliniau hi hyd hanner dydd, ac a fu farw.

21 A hi a aeth i fynu, ac a'i gosododd ef i orwedd ar wely gwr Duw, ac a gauodd *y drws* arno, ac a aeth allan.

22 A hi a alwodd ar ei gwr, ac a ddywedodd, Anfon, attolwg, gyd â mi un o'r llangciau ac un o'r asynod: canys mi a redaf hyd at wr Duw, ac a ddychwelaf.

23 Dywedodd yntau, Pa ham yr ai di atto ef heddyw? nid *yw hi* na newyddloer, na Sabboth. Hithau a ddywedodd, ‡ Pob peth yn dda.

‡ Heb. *Heddwch.*

24 Yna hi a gyfrwyodd yr asyn; ac a ddywedodd wrth ei llangc, Gyrr, a dos rhagot: nac § aros am danaf fi i farchogaeth, onid archwyf it'.

§ Heb. *attal erof fi farchogaeth.*

25 Felly hi a aeth, ac a ddaeth at wr Duw i fynydd Carmel. A phan welodd gwr Duw hi o bell, efe a ddywedodd wrth Gehazi ei was, Wele y Sunamees honno.

26 Rhed yn awr, attolwg, i'w chyfarfod, a dywed wrthi hi, *A wyt* ti yn iach? *a ydyw* dy wr yn iach? *a ydyw*'r bachgen yn iach? Dywedodd hithau, Iach.

27 A phan ddaeth hi at wr Duw i'r mynydd, hi a ymaflodd yn ei draed ef: a Gehazi a nesaodd i'w gwthio hi ymaith. A gwr Duw a ddywedodd, Gâd hi yn llonydd: canys ei henaid *sydd* ‖ ofidus ynddi; a'r Arglwydd a'i celodd oddi wrthyf fi, ac ni's mynegodd i mi.

‖ Heb. *chwerw.*

28 Yna hi a ddywedodd, A ddymunais i fab gan fy arglwydd? [g] oni ddywedais, Na thwylla fi?

[g] Adn. 16.

29 Yna efe a ddywedodd wrth Gehazi, [h] Gwregysa dy lwynau, a chymmer fy ffon yn dy law, a dos ymaith: o chyfarfyddi â neb, [i] na chyfarch iddo; ac o chyfarch neb di, nac atteb ef: a [k] gosod fy ffon i ar wyneb y bachgen.

[h] 1 Bren. 18. 46. Pen. 9. 1.
[i] Luc 10. 4.
[k] Edrych Exod. 7. 9, 10. a 14. 16. Pen. 2. 8, 14. Act. 19. 12.

30 A mam y bachgen a ddywedodd, *Fel mai* byw'r Arglwydd, ac *mai* byw dy enaid di, nid ymadawaf fi â thi. Ac efe a gyfododd, ac a aeth ar ei hol hi.

31 A Gehazi a gerddodd o'u blaen hwynt, ac a osododd y ffon ar wyneb y bachgen: ond nid *oedd* na llefervdd, na † chlywed. Am hynny efe a ddychwelodd i'w gyfarfod ef; ac a fynegodd iddo, gan ddywedyd, Ni ddeffrôdd y bachgen.

† Heb. *ymwrando.*

32 A phan ddaeth Elisëus i mewn i'r tŷ, wele'r bachgen wedi marw, yn gorwedd ar ei wely ef.

33 Felly efe [l] a ddaeth i mewn, ac a gauodd y drws arnynt ill dau, ac a weddïodd ar yr Arglwydd.

[l] Adn. 4. Mat. 6. 6.

34 Ac efe a aeth i fynu, ac a orweddodd ar y bachgen, ac a osododd ei enau ar ei enau yntau, a'i lygaid ar ei lygaid ef, a'i ddwylaw ar ei ddwylaw ef, ac [m] efe a ymestynodd arno ef; a chynhesodd cnawd y bachgen.

[m] 1 Bren. 17. 21. Act. 20. 10.

35 Ac efe a ddychwelodd, ac a rodiodd yn y tŷ ‡ i fynu ac i wared; ac a aeth i fynu, ac a ymestynodd arno ef: a'r [n] bachgen a disiodd hyd yn seithwaith, a'r bachgen a agorodd ei lygaid.

‡ Heb. *unwaith yma, ac unwaith acw.*

36 Ac efe a alwodd ar Gehazi, ac a ddywedodd, Galw y Sunamees hon. Ac efe a alwodd arni hi. A hi a ddaeth atto ef. Dywedodd yntau, Cymmer dy fab.

[n] Pen. 8. 1, 5.

37 A hi a aeth i mewn, ac a syrthiodd wrth ei draed ef, ac a ymgrymmodd hyd lawr, ac a gymmerodd ei mab, ac a aeth allan.

38 ¶ Ac Elisëus a ddychwelodd i Gilgal. Ac *yr oedd* newyn yn y wlad; a meibion y prophwydi *oedd* yn eistedd ger ei fron ef: ac efe a ddywedodd wrth ei was, Trefna 'r crochan mawr, a berw gawl i feibion y prophwydi.

Cylch 891.

39 Ac un a aeth allan i'r maes i gasglu bresych, ac a gafodd winwŷdden wŷllt, ac a gasglodd o honi fresych gwŷlltion lonaid ei wisg, ac a ddaeth ac a'u briwodd yn y crochan cawl: canys nid adwaenent *hwynt.*

40 Yna y tywalltasant i'r gwŷr i fwytta. A phan fwyttasant o'r cawl, hwy a waeddasant, ac a ddywedasant, O wr Duw, *y mae* angau yn y crochan: ac ni allent *ei* fwytta.

41 Ond efe a ddywedodd, Dygwch flawd. Ac [o] efe a'i bwriodd yn y crochan: dywedodd hefyd, Tywallt i'r bobl, fel y bwyttaont. Ac nid oedd dim niweid yn y crochan.

[o] Edrych Exod. 15. 25. Pen. 2. 20. a 5. 10. Ioan 9. 6.

42 ¶ A daeth gwr o Baal-salisa, ac a ddug i wr Duw o fara blaen-ffrwyth, ugain torth haidd, a thywysenau o ŷd newydd yn ei § gibau. Ac efe a ddywedodd, Dod i'r bobl, fel y bwyttaont.

§ Neu, *wisg.*

43 A'i weinidog ef a ddywedodd, [p] I ba beth y rhoddaf hyn ger bron can-wr? Dywedodd yntau, Dyro i'r bobl, fel y bwyttaont: canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd; [q] Hwy a fwyttânt, a bydd gweddill.

[p] Ioan 6. 9.
[q] Ioan 6. 11.

44 Felly efe a'i rhoddodd ger eu bron hwynt: a hwy a fwyttasant, ac [r] a weddillasant, yn ol gair yr Arglwydd.

[r] Mat. 14. 20. a 15. 37. Ioan 6. 13.

## PEN. V.

1 *Naaman, wrth chwedl ei gaeth-forwyn, yn myned i Samaria i'w iachâu o'i wahanglwyf.* 8 *Elisëus yn ei yrru ef i'r Iorddonen i'w iachâu;* 15 *yn gwrthod ei roddion ef, ac yn rhoi iddo beth o'r ddaear.* 20 *Gehazi yn enw ei feistr yn cymmeryd rhoddion Naaman, ac yn cael gwahan-glwyf tragywyddol.*

Sul 11 ar ol y Drindod, B. Mai 11. P.

Cylch 894.

A [a] Naaman, tywysog llu brenhin Syria, oedd wr mawr yngolwg ei arglwydd, ac yn † anrhydeddus; canys trwyddo ef y rhoddasai'r Arglwydd ymwared i Syria: ac yr oedd efe yn wr cadarn nerthol, *ond yr oedd* yn wahan-glwyfus.

[a] Luc 4. 27.
† Neu, *ddyrchafedig*, neu, *gymmeradwy ei wyneb.*

2 A'r Syriaid a aethent allan yn fintei-
oedd, ac a gaeth-gludasent o wlad Israel
† Heb. o flaen. langces fechan; a honno oedd † yn gwasa-
naethu gwraig Naaman.
3 A hi a ddywedodd wrth ei meistres, O
na *byddai* fy arglwydd o flaen y prophwyd
‡ Heb. casglai. *sydd* yn Samaria: canys efe a'i ‡ hiachâi ef
o'i wahan-glwyf.
4 Ac *un* a aeth ac a fynegodd i'w ar-
glwydd, gan ddywedyd, Fel hyn ac fel hyn
y dywedodd y llangces o wlad Israel.
5 A brenhin Syria a ddywedodd, Dos,
cerdda, a mi a anfonaf lythyr at frenhin
b Pen. 8. 8, 9. Israel. Ac efe a aeth ymaith, ac b a ddug
§ gyd ag ef ddeg talent o arian, a chwe mil
§ Heb. yn ei law. o aur, a deg pâr o ddillad.
6 Ac efe a ddug y llythyr at frenhin Is-
rael, gan ddywedyd, Yn awr pan ddel y lly-
thyr hwn attat ti, wele, anfonais attat ti
Naaman fy ngwas, fel yr iachâit ef o'i wa-
han-glwyf.
7 A phan ddarllenodd brenhin Israel y
llythyr, efe a rwygodd ei ddillad, ac a ddy-
c Deut. 32. 39. 1 Sam. 2. 6. wedodd, Ai c Duw *ydwyf* fi, i farwhâu, ac
i fywhâu, pan anfonai efe attaf fi i iachâu
gwr o'i wahan-glwyf? gwybyddwch gan
Cylch 894. hynny, attolwg, a gwelwch mai ceisio achos
y mae efe i'm herbyn i.
8 ¶ A phan glybu Elisëus gwr Duw
rwygo o frenhin Israel ei ddillad, efe a an-
fonodd at y brenhin, gan ddywedyd, Pa
ham y rhwygaist dy ddillad? deued yn awr
attaf fi, ac efe a gaiff wybod fod prophwyd
yn Israel.
9 Yna Naaman a ddaeth â'i feirch ac
â'i gerbydau, ac a safodd *wrth* ddrws tŷ
Elisëus.
10 Ac Elisëus a anfonodd atto ef gennad,
d Edrych Pen. 4. 41. gan ddywedyd, Dos ac d ymolch saith waith
yn yr Iorddonen; a'th gnawd a ddychwel i
ti, a thi a lanhêir.
11 Ond Naaman a ddigiodd, ac a aeth
ymaith; ac a ddywedodd, Wele, mi a
|| Heb. ddywedais wrthyf fy hun. || feddyliais ynof fy hun, gan ddyfod y
deuai efe allan, ac y safai efe, ac y galwai
ar enw'r ARGLWYDD ei DDUW, ac y † go-
† Heb. cyhwfanai. sodai ei law ar y fan, ac yr iachâi y gwahan-
glwyfus.
‡ Neu, Amana. 12 Onid gwell ‡ Abana a Pharpar, afon-
ydd Damascus, na holl ddyfroedd Israel?
oni allaf ymolchi ynddynt hwy, ac ymlan-
hâu? Felly efe a drodd, ac a aeth ymaith
mewn digter.
13 A'i weision a nesasant, ac a lefarasant
wrtho, ac a ddywedasant, Fy nhad, *pe* dy-
wedasai'r prophwyd beth mawr wrthyt ti,
oni's gwnelsit? pa faint mwy, gan iddo ddy-
wedyd wrthyt, Ymolch, a bydd lân?
14 Ac yna efe a aeth i wared, ac a ym-
drochodd saith waith yn yr Iorddonen, yn
e Job 33. 25. ol gair gwr Duw: e a'i gnawd a ddychwel-
f Luc 4. 27. odd fel cnawd dyn bach, ac f efe a lanhâ-
wyd.
15 ¶ Ac efe a ddychwelodd at wr Duw,
efe a'i holl fintai, ac a ddaeth ac a safodd
ger ei fron ef; ac a ddywedodd, Wele, yn
awr y gwn nad *oes* Duw trwy'r holl ddaear,
ond yn Israel: am hynny cymmer yn awr,
§ Heb. fendith. attolwg, § rodd gan dy was.
16 Ond efe a ddywedodd, g *Fel mai* byw'r
g Pen. 3. 14. ARGLWYDD, yr hwn yr ydwyf yn sefyll
h Gen. 14. 23. Edrych Mat. 10. 8. Act. 8. 18, 20. ger ei fron, h ni chymmeraf. Ac efe a
gymhellodd arno *ei* chymmeryd; etto efe a'i
gwrthododd.
17 A Naaman a ddywedodd, Oni roddir
yn awr i'th was lwyth cwpl o fulod o ddae-
ar? canys ni offrymma dy was mwyach
boeth-offrwm nac aberth i dduwiau eraill,
ond i'r ARGLWYDD.
18 Yn y peth hyn yr ARGLWYDD a
faddeuo i'th was; pan elo fy arglwydd i
dŷ Rimmon i addoli yno, a i phwyso ar fy i Pen. 7. 2, 17.
llaw i, a *phan* ymgrymmwyf finnau yn nhŷ
Rimmon; pan ymgrymmwyf yn nhŷ Rim-
mon, maddeued yr ARGLWYDD i'th was yn
y peth hyn.
19 Ac efe a ddywedodd wrtho, Dos mewn
heddwch. Ac efe a aeth oddi wrtho ef en-
cyd o || ffordd. || Heb. dir. Fel Gen. 35. 16.
20 ¶ Ond Gehazi, gwas Elisëus gwr
Duw, a ddywedodd, Wele, fy meistr a ar-
bedodd Naaman y Syriad hwn, heb gym-
meryd o'i law ef yr hyn a ddygasai efe:
*fel mai* byw'r ARGLWYDD, mi a redaf ar ei
ol ef, ac a gymmeraf ryw beth ganddo ef.
21 Felly Gehazi a ganlynodd ar ol Naa-
man. A phan welodd Naaman *ef* yn rhedeg
ar ei ol, efe a ddisgynodd oddi ar y cerbyd
i'w gyfarfod ef, ac a ddywedodd, † *A yw* † Heb. A oes heddwch?
pob peth yn dda?
22 Dywedodd yntau, *Y mae* pob peth yn
dda. Fy meistr a'm hanfonodd i, gan ddy-
wedyd, Wele, yr awr hon dau langc o fynydd
Ephraim, o feibion y prophwydi, a ddaeth
attaf fi: dyro *yn awr* iddynt hwy dalent o
arian, a dau bâr o ddillad.
23 A Naaman a ddywedodd, Bydd fodd-
lon, cymmer ddwy dalent. Ac efe a fu daer
arno ef; ac a rwymodd ddwy dalent o arian
mewn dwy gôd, a deubar o ddillad; ac efe
a'*u* rhoddodd at ddau o'i weision, i'*w* dwyn
o'i flaen ef.
24 A phan ddaeth efe i'r ‡ bwlch, efe a'*u* ‡ Neu, lle dirgel.
cymmerth o'u llaw hwynt, ac a'*u* rhoddodd
i gadw yn tŷ; ac a ollyngodd ymaith y
gwŷr, a hwy a aethant ymaith.
25 Ond efe a aeth i mewn, ac a safodd
o flaen ei feistr. Ac Elisëus a ddywedodd
wrtho ef, O ba le *y daethost ti*, Gehazi? Dy-
wedodd yntau, Nid aeth dy was *nac* yma na
thraw.
26 Ac efe a ddywedodd wrtho, Onid aeth
fy nghalon *gyd â thi*, pan drodd y gwr oddi
ar ei gerbyd i'th gyfarfod di? *a ydoedd hi*
amser i gymmeryd arian, ac i gymmeryd
gwisgoedd, ac olewŷdd-lannau, a gwin-
llannau, a defaid, a gwartheg, a gweision, a
morwynion?
27 Am hynny gwahan-glwyf Naaman a
lŷn wrthyt ti, ac wrth dy had yn dragy-
wydd. Ac efe a aeth ymaith o'i ŵydd ef
k yn wahan-glwyfus *cyn wyned* â'r eira. k Exod. 4. 6. Num. 12. 10.

## PEN. VI.

1 *Elisëus yn caniattâu i feibion y prophwydi* Mai 12. 8.
*gael ehengi eu terfynau; ac yn peri i'r hai-
arn nofio: 8 yn datguddio cyfrinach bren-
hin Syria. 18 Y llu a yrrwyd i ddal Elisë-
us, yn cael eu taro â dallineb; 19 a chwedi
eu dwyn i Samaria, yn cael eu gollwng ym-
aith. 24 Y newyn yn Samaria yn peri i
wragedd fwytta eu plant. 30 Y brenhin yn
gyrru i ladd Elisëus.*

A Meibion y prophwydi a ddywedasant Cylch 893.
wrth Elisëus, Wele yn awr, y lle yr
hwn yr ydym ni yn trigo ynddo ger dy fron
di, sydd rŷ gyfyng i ni.
2 Awn yn awr hyd yr Iorddonen, fel y
cymmerom oddi yno bawb ei drawst, ac y
gwnelom i ni yno le i gyfanneddu ynddo.
Dywedodd yntau, Ewch.

3 Ac un a ddywedodd, Bydd foddlon, attolwg, a thyred gyd â'th weision. Dywedodd yntau, Mi a ddeuaf.

4 Felly efe a aeth gyd â hwynt. A hwy a ddaethant at yr Iorddonen, ac a dorrasant goed.

5 A phan oedd un yn bwrw i lawr drawst, ei † fwyall ef a syrthiodd i'r dwfr. Ac efe a waeddodd, ac a ddywedodd, Och fi, fy meistr; canys benthyg oedd.

† Heb. *haiarn.*

6 A gwr Duw a ddywedodd, Pa le y syrthiodd? Yntau a ddangosodd iddo 'r fan. Ac [a] efe a dorrodd bren, ac a'i taflodd yno; a'r haiarn a nofiodd.

a Pen. 2. 21.

7 Ac efe a ddywedodd, Cymmer i fynu it'. Ac efe a estynodd ei law, ac a'i cymmerodd.

8 ¶ A brenhin Syria oedd yn rhyfela yn erbyn Israel; ac efe a ymgynghorodd â'i weision, gan ddywedyd, Yn y lle a'r lle *y bydd* fy ngwersyllfa.

9 A gwr Duw a anfonodd at frenhin Israel, gan ddywedyd, Ymgadw rhag myned i'r lle a'r lle: canys yno y disgynodd y Syriaid.

10 A brenhin Israel a anfonodd i'r lle *am* yr hwn y dywedasai gwr Duw wrtho ac y rhybuddiasai ef, ac a ymgadwodd yno, nid unwaith, ac nid dwywaith.

11 A chalon brenhin Syria a gythryblwyd herwydd y peth hyn; ac efe a alwodd ar ei weision, ac a ddywedodd wrthynt, Oni fynegwch i mi pwy o honom ni *sydd* gyd â brenhin Israel?

12 Ac un o'i weision ef a ddywedodd, Nid *oes neb,* fy arglwydd frenhin: ond Elisëus y prophwyd, yr hwn *sydd* yn Israel, a fynega i frenhin Israel y geiriau a leferi di ynghanol dy 'stafell wely.

13 ¶ Ac efe a ddywedodd, Ewch, ac edrychwch pa le *y mae* efe, fel yr anfonwyf i'w gyrchu ef. A mynegwyd iddo, gan ddywedyd, Wele, yn Dothan *y mae efe.*

14 Am hynny efe a anfonodd yno feirch a cherbydau, a llu ‡ mawr: a hwy a ddaethant liw nos, ac a amgylchynasant y ddinas.

‡ Heb. *trwm.*

15 A phan gododd gweinidog gwr Duw yn fore, a myned allan, wele, lu yn amgylchynu 'r ddinas, â meirch ac â cherbydau. A'i was a ddywedodd wrtho ef, Aha, fy meistr, pa fodd y gwnawn?

16 Ac efe a ddywedodd, Nac ofna: canys amlach *yw* [b] y rhai *sydd* gyd â ni nâ 'r rhai *sydd* gyd â hwynt.

b 2 Chron. 32. 7.

17 Ac Elisëus a weddïodd, ac a ddywedodd, O ARGLWYDD, agor, attolwg, ei lygaid ef, fel y gwelo. A'r ARGLWYDD a agorodd lygaid y llangc; ac efe a edrychodd: ac wele 'r mynydd yn llawn [c] meirch a cherbydau tanllyd o amgylch Elisëus.

c Pen. 2. 11. Psal. 34. 7. Zec. 1. 8. a 6. 1—7.

18 A phan ddaethant i wared atto ef, Elisëus a weddïodd ar yr ARGLWYDD, ac a ddywedodd, Taro, attolwg, y genedl hon â dallineb. Ac [d] efe a'u tarawodd hwy â dallineb, yn ol gair Elisëus.

d Gen. 19. 11.

19 ¶ Ac Elisëus a ddywedodd wrthynt, Nid hon *yw*'r ffordd, ac nid hon *yw*'r ddinas: deuwch ar fy ol i, a mi a'ch dygaf chwi at y gwr yr ydych chwi yn ei geisio. Ond efe a'u harweiniodd hwynt i Samaria.

20 A phan ddaethant hwy i Samaria, Elisëus a ddywedodd, O ARGLWYDD, agor lygaid y rhai hyn, fel y gwelont. A'r ARGLWYDD a agorodd eu llygaid hwynt; a hwy a welsant: ac wele, ynghanol Samaria 'r *oeddynt.*

21 A brenhin Israel a ddywedodd wrth Elisëus, pan welodd efe hwynt, Gan daro a darawaf *hwynt,* fy nhad?

22 Dywedodd yntau, Na tharo: a darewit ti y rhai a gaethiwaist â'th gleddyf, ac â'th fwa dy hun? gosod fara a dwfr ger eu bron hwynt, fel y bwyttaont ac yr yfont, ac yr elont at eu harglwydd.

23 Ac efe a arlwyodd iddynt hwy arlwy fawr: a hwy a fwyttasant ac a yfasant; ac efe a'u gollyngodd hwynt ymaith, a hwy a aethant at eu harglwydd. Felly byddinoedd Syria ni 'chwanegasant ddyfod mwyach i wlad Israel.

24 ¶ Ac wedi hyn Benhadad brenhin Syria a gynhullodd ei holl lu, ac a aeth i fynu, ac a warchaeodd ar Samaria. Cylch 892.

25 Ac yr oedd newyn mawr yn Samaria: ac wele, yr oeddynt hwy yn gwarchae arni hi, nes bod pen asyn er pedwar ugain *sicl* o arian, a phedwaredd *ran* cab o dom colommennod er pum *sicl* o arian.

26 Ac fel yr oedd brenhin Israel yn myned heibio ar y mur, gwraig a lefodd arno ef, gan ddywedyd, Achub, fy arglwydd frenhin.

27 Dywedodd yntau, § Oni achub yr ARGLWYDD dydi, pa fodd yr achubaf fi di? A'i o'r ysgubor, neu o'r gwin-wryf?

§ Neu, *Na achubed.*

28 A'r brenhin a ddywedodd wrthi hi, Beth *a ddarfu* i ti? Hithau a ddywedodd, Y wraig hon a ddywedodd wrthyf, Dyro dy fab, fel y bwyttaom ef heddyw; a'm mab innau a fwyttâwn ni y foru.

29 Felly [e] ni a ferwasom fy mab i, ac a'i bwyttasom ef: a mi a ddywedais wrthi hithau y diwrnod arall, Dyro dithau dy fab, fel y bwyttaom ef: ond hi a guddiodd ei mab.

e Deut. 28. 53, 57.

30 ¶ A phan glybu 'r brenhin eiriau 'r wraig, efe a rwygodd ei ddillad, ac a aeth heibio ar y mur; a'r bobl a edrychodd, ac wele, sachliain *oedd* am ei gnawd ef oddi fewn.

31 Ac efe a ddywedodd, [f] Fel hyn y gwnelo Duw i mi, ac fel hyn y 'chwanego, os saif pen Elisëus mab Saphat arno ef heddyw.

f Ruth 1. 17. 1 Bren. 19. 2.

32 Ond Elisëus oedd yn eistedd yn ei dŷ, a'r henuriaid yn eistedd gyd ag ef. A'r *brenhin* a anfonodd wr o'i flaen: ond cyn dyfod y gennad atto ef, efe a ddywedodd wrth yr henuriaid, [g] A welwch chwi fel yr anfonodd mab y llofrudd hwn i gymmeryd ymaith fy mhen i? Edrychwch pan ddel y gennad i mewn, cauwch y drws, a daliwch ef wrth y drws: onid *yw* trwst traed ei arglwydd ar ei ol ef?

g Luc 13. 32.

33 Ac efe etto yn ymddiddan â hwynt, wele 'r gennad yn dyfod i mewn atto ef: ac efe a ddywedodd, Wele 'r drwg hyn *sydd* oddi wrth yr ARGLWYDD; pa ham y disgwyliaf wrth yr ARGLWYDD mwy?

## PEN. VII.

1 *Elisëus yn prophwydo helaethrwydd anghredadwy yn Samaria.* 3 *Pedwar gwahanglwyfus yn myned i wersyll y Syriaid, ac yn dangos iddynt ffoi.* 12 *Y brenhin yn cael hynny yn wir, ac yn yspeilio pebyll y Syriaid.* 17 *Y pennaeth ni choeliai eiriau 'r prophwyd, yn cael ei sathru dan draed nes ei farw.* Mai 12. P

1 YNA Elisëus a ddywedodd, Gwrandêwch a'r yr ARGLWYDD: Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD; [a] Ynghylch y Cylch 892.

a Adn. 18, 16.

† *mesur.* pryd *hyn* y foru *y gwerthir* † sat o beilliaid
er sicl, a dau sat o haidd er sicl, ym mhorth
Samaria.
‡ Heb. *tywysog o'r eiddo 'r brenhin oedd yn pwyso ar ei law ef,* 2 Yna ‡ tywysog yr oedd y brenhin yn
pwyso ar ei law a attebodd wr Duw, ac a
ddywedodd, Wele, *pe* gwnai 'r ARGLWYDD
ffenestri yn y nefoedd, a fyddai 'r peth hyn?
Dywedodd yntau, Wele, ti a'i gweli â'th
Pen. 5. 18. lygaid, ond ni fwyttâi o hono.
b Lef. 13. 46. 3 ¶ Ac yr oedd pedwar gwr gwahan-
glwyfus [b] wrth ddrws y porth; a hwy a
ddywedasant wrth eu gilydd, Pa ham yr
ydym ni yn aros yma nes ein meirw?
4 Os dywedwn ni, Awn i mewn i'r ddi-
nas, newyn *sydd* yn y ddinas, a ni a fyddwn
feirw yno; ac os trigwn yma, ni a fyddwn
feirw hefyd. Am hynny deuwch yn awr,
ac awn i wersyll y Syriaid: o chadwant ni
yn fyw, byw fyddwn; ac os lladdant ni,
byddwn feirw.
5 A hwy a gyfodasant ar dorriad dydd i
fyned i wersyll y Syriaid. A phan ddaethant
at gwrr eithaf gwersyll y Syriaid, wele, nid
*oedd* neb yno.
6 Canys yr ARGLWYDD a barasai i
c 2 Sam. 5. 24. wersyll y Syriaid [c] glywed trwst cerbydau,
a thrwst meirch, trwst llu mawr: a hwy a
ddywedasant wrth eu gilydd, Wele brenhin
d 1 Bren. 10. 29. Israel a gyflogodd i'n herbyn ni [d] frenhin-
oedd yr Hethiaid, a brenhinoedd yr Aipht,
i ddyfod arnom ni.
7 Am hynny hwy a gyfodasant, ac a
ffoisant, ar lasiad dydd, ac a adawsant eu
pebyll, a'u meirch, a'u hasynod, *sef* y
gwersyll fel *yr ydoedd*, ac a ffoisant am eu
heinioes.
8 A phan ddaeth y rhai gwahan-glwyfus
hyn hyd gwrr eithaf y gwersyll, hwy a
aethant i un babell, ac a fwyttasant, ac a
yfasant, ac a gymmerasant oddi yno arian,
ac aur, a gwisgoedd, ac a aethant, ac a'i
cuddiasant, ac a ddychwelasant; ac a aeth-
ant i babell arall, ac a gymmerasant oddi
yno, ac a aethant, ac a'i cuddiasant.
9 Yna y dywedodd y naill wrth y llall,
Nid ydym ni yn gwneuthur yn iawn; y
dydd hwn *sy* ddydd llawen-chwedl, ac
yr ydym ni yn tewi â son; os arhoswn ni
§ Heb *ni a gawn gospedigaeth.* hyd oleuni 'r bore, § rhyw ddrwg a
ddigwydd i ni: deuwch gan hynny yn
awr, ac awn fel y mynegom i dŷ 'r bren-
hin.
10 Felly hwy a ddaethant, ac a waeddas-
ant ar borthor y ddinas; a hwy a fyne-
gasant iddynt, gan ddywedyd, Daethom i
wersyll y Syriaid, ac wele nid *oedd* yno neb,
na llais dyn, ond y meirch yn rhwym, a'r
asynod yn rhwym, a'r pebyll megis *yr oedd-
ynt o'r blaen.*
11 Ac efe a alwodd ar y porthorion;
a hwy a'i mynegasant i dŷ 'r brenhin oddi
fewn.
12 ¶ A'r brenhin a gyfododd liw nos, ac
a ddywedodd wrth ei weision, Mynegaf yn
awr i chwi yr hyn a wnaeth y Syriaid i
ni. Gwyddent mai newynog *oeddym* ni;
am hynny yr aethant ymaith o'r gwersyll i
ymguddio yn y maes, gan ddywedyd, Pan
ddelont hwy allan o'r ddinas, ni a'u daliwn
hwynt yn fyw, ac a awn i mewn i'r ddi-
nas.
13 Ac un o'r gweision a attebodd ac a
ddywedodd, Cymmer yn awr bump o'r
meirch a adawyd, y rhai a adawyd yn
y ddinas, (wele, *y maent* hwy fel holl
liaws Israel, y rhai a arhosasant ynddi;
wele, *y maent* hwy fel holl liaws Israel, y
rhai a ddarfuant) ac anfonwn, ac edrychwn.
14 Felly hwy a gymmerasant feirch dau
gerbyd: a'r brenhin a anfonodd ar ol gwer-
syll y Syriaid, gan ddywedyd, Ewch, ac
edrychwch.
15 A hwy a aethant ar eu hol hwynt hyd
yr Iorddonen, ac wele 'r holl ffordd ydoedd
yn llawn o ddillad a llestri, y rhai a fwriasai
y Syriaid ymaith wrth frysio: a'r cenhadau
a ddychwelasant ac a fynegasant i'r bren-
hin.
16 A'r bobl a aethant allan, ac a anrheith-
iasant wersyll y Syriaid: a bu sat o beilliaid
er sicl, a dau sat o haidd er sicl, yn ol gair
yr ARGLWYDD.
17 ¶ A'r brenhin a osododd y tywysog
yr oedd efe yn pwyso ar ei law *i wylied* ar
y porth: a'r bobl a'i mathrasant ef yn y
porth, ac efe fu farw, [e] megis y llefarasai e Pen. 6. 32.
gwr Duw, yr hwn a ddywedasai *hynny* pan Adn. 2.
ddaeth y brenhin i wared atto ef.
18 A bu megis y llefarasai gwr Duw
wrth y brenhin, gan ddywedyd, [f] Dau sat f Adn. 1.
o haidd er sicl, a sat o beilliaid er sicl,
fydd y pryd *hyn* y foru ym mhorth Sa-
maria.
19 A'r tywysog a attebasai wr Duw,
ac a ddywedasai, Wele, *pe* gwnai yr AR-
GLWYDD ffenestri yn y nefoedd, a fydd-
ai'r peth hyn? Dywedodd yntau, Wele
ti a'i gweli â'th lygaid, ond ni fwyttâi o
hono.
20 Ac felly y bu iddo ef: canys y bobl
a'i sathrasant ef yn y porth, ac efe a fu
farw.

PEN. VIII.

1 *Y Sunamees, wedi gadael ei gwlad saith* Mai 13. E.
*mlynedd i ffoi rhag y newyn, yn cael gan y
brenhin ei thir yn ei ol, er mwyn gwyrthiau
Eliseus. 7 Hazael, wedi clywed y broph-
wydoliaeth, yn lladd ei feistr, ac yn teyr-
nasu yn ei le ef. 16 Annuwiol lywodraeth Je-
horam ar Judah. 20 Edom a Libnah yn cilio
oddi wrth Judah. 23 Ahaziah yn frenhin
ar ol Jehoram, 25 a'i lywodraeth annuwiol
ef. 28 Efe yn ymweled â Jehoram, oedd
friwedig yn Jezreel.*

YNA Eliseus a lefarodd wrth y wraig Cylch
[a] y bywhasai efe ei mab, gan ddy- 891.
wedyd, Cyfod, a dos ti a'th dylwyth, ac a Pen. 4. 35.
ymdeithia lle y gellych ymdeithio: ca-
nys yr ARGLWYDD [b] a alwodd am b Psal. 105. 16.
newyn, a *hwnnw* a ddaw ar y wlad saith Hag. 1. 11.
mlynedd.
2 A'r wraig a gyfododd, ac a wnaeth yn
ol gair gwr Duw: a hi a aeth, hi a'i thy-
lwyth, ac a ymdeithiodd yngwlâd y Phili-
stiaid saith mlynedd.
3 Ac ym mhen y saith mlynedd, y wraig Cylch
a ddychwelodd o wlad y Philistiaid: a hi a 885.
aeth i weiddi ar y brenhin am ei thŷ, ac am
ei thir.
4 A'r brenhin oedd yn ymddiddan â
† Gehazi gwas gwr Duw, gan ddywedyd, † Pen. 5. 20.
Adrodd i mi, attolwg, yr holl bethau mawr
a wnaeth Eliseus.
5 Ac fel yr oedd efe yn mynegi i'r
brenhin y modd y bywhasai efe 'r marw,
yna wele'r wraig y bywhasai efe ei mab
yn gweiddi ar y brenhin am ei thŷ, ac am
ei thir. A Gehazi a ddywedodd, Fy ar-
glwydd frenhin, dyma'r wraig, a dy-
ma ei mab yr hwn a ddarfu i Eliseus ei
fywhâu.

6 A'r brenhin a ofynodd i'r wraig; a
hithau a fynegodd iddo ef. A'r brenhin a
† Neu, *Eunuch.* roddodd iddi ryw † ystafellydd, gan ddy-
wedyd, Dod drachefn yr hyn oll *oedd* eiddi
hi, a holl gnwd y maes, o'r dydd y gadaw-
odd hi'r wlad hyd y pryd hwn.
885. 7 ¶ A daeth Eliseus i Ddamascus: a
Benhadad brenhin Syria oedd glaf; a my-
negwyd iddo ef, gan ddywedyd, Daeth gwr
Duw yma.
8 A'r brenhin a ddywedodd wrth Ha-
[c] 1 Bren. 14. 3. zael, [c] Cymmer anrheg yn dy law, a dos
i gyfarfod â gwr Duw; ac [d] ymofyn â'r
Pen. 5. 5. ARGLWYDD trwyddo ef, gan ddywedyd, A
[d] Pen. 1. 2. fyddaf fi byw o'r clefyd hwn?
9 Felly Hazael a aeth i'w gyfarfod ef,
ac a gymmerth anrheg yn ei law, a phob
peth *a'r a oedd* dda *o* Ddamascus, *sef* llwyth
deugain o gamelod; ac a ddaeth, ac a saf-
odd o'i flaen ef, ac a ddywedodd, Benhadad
brenhin Syria dy fab a'm hanfonodd attat,
gan ddywedyd, A fyddaf fi byw o'r clefyd
hwn?
10 Ac Eliseus a ddywedodd wrtho, Dos,
a dywed wrtho, Diau y gelli fyw: etto'r
[e] Adn. 15. ARGLWYDD a ddangosodd i mi [e] y bydd
efe marw yn ddiau.
‡ Heb. *ac a'i gosododd.* 11 Ac efe a osododd ei wyneb, ‡ ac a
ddaliodd sulw arno, nes cywilyddio o hono
ef: a gwr Duw a wylodd.
12 A Hazael a ddywedodd, Paham y
mae fy arglwydd yn wylo? Dywedodd yn-
[f] Pen. 10. 32. a 12. 17. tau, Am fy mod yn gwybod [f] y drwg a
wnai di i feibion Israel: eu hamddiffynfa-
a 13. 3, 7. Amos 1. 3. oedd hwynt a losgi di â thân, a'u gwŷr ieu-
[g] Pen. 15. 16. aingc a leddi â'r cleddyf, [g] a'u plant a bwyi,
a'u gwragedd beichiogion a rwygi.
Hos. 13. 16. Amos 1. 13. 13 A Hazael a ddywedodd, Pa beth! ai
[h] 1 Bren. 19. 15. ci yw dy was, fel y gwnelai efe'r mawr beth
hyn? Ac Eliseus a ddywedodd, [h] Yr AR-
GLWYDD a ddangosodd i mi *y byddi* di yn
frenhin ar Syria.
14 Felly efe a aeth ymaith oddi wrth Eli-
seus, ac a ddaeth at ei arglwydd; yr hwn a
ddywedodd wrtho, Beth a ddywedodd Eli-
seus wrthyt ti? Ac efe a attebodd, Efe a
ddywedodd wrthyf, y byddit ti byw yn
ddiau.
15 A thrannoeth efe a gymmerth wrth-
ban, ac a'i gwlychodd mewn dwfr, ac a'i
lledodd ar ei wyneb ef, fel y bu efe farw: a
Hazael a deyrnasodd yn ei le ef.
892. 16 ¶ Ac yn y bummed flwyddyn i Joram
fab Ahab frenhin Israel, a Jehosaphat yn
§ Heb. *teyrnasodd.* frenhin yn Judah, y § dechreuodd [i] Jehoram
mab Jehosaphat brenhin Judah deyrnasu.
[i] 2 Chron. 21. 4. 17 Mab deuddeng mlwydd ar hugain oedd
efe pan ddechreuodd deyrnasu; ac wyth
mlynedd y teyrnasodd efe yn Jerusalem.
18 Ac efe a rodiodd yn ffordd brenhin-
oedd Israel, fel y gwnai tŷ Ahab: canys
[k] Adn. 26. [k] merch Ahab oedd yn wraig iddo: felly
efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg
yr ARGLWYDD.
19 Ond ni fynnai'r ARGLWYDD ddife-
[l] 2 Sam. 7. 13. tha Judah, er mwyn Dafydd ei was; [l] megis
1 Bren. 11. 36. a 15. 4. yr addawsai efe, y rhoddai iddo ‖ oleuni,
ac i'w feibion yn dragywydd.
‖ Heb. *ganwyll,* neu, *lamp.* 20 ¶ Yn ei ddyddiau ef y gwrthryfelodd
[m] Gen. 27. 40. [m] Edom oddi tan law Judah, ac y gosodasant
frenhin arnynt eu hunain.
2 Chron. 21. 8. 21 A Joram a aeth trosodd i Sair, a'r holl
gerbydau gyd ag ef; ac efe a gyfododd liw
nos, ac a darawodd yr Edomiaid oedd yn ei
amgylchu ef, a thywysogion y cerbydau: a'r
bobl a ffodd i'w pebyll.

22 Er hynny Edom a wrthryfelodd oddi
tan law Judah hyd y dydd hwn: yna y
gwrthryfelodd [n] Libnah y pryd hynny. [n] 2 Chron. 21. 10.
23 A'r rhan arall o hanes Joram, a'r hyn oll
a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifene-
dig yn llyfr chronicl brenhinoedd Judah? [o] 2 Chron. 22. 1.
24 A Joram a hunodd gyd â'i dadau, ac a
gladdwyd gyd â'i dadau yn ninas Dafydd: † a elwir *Azariah,*
ac [o] † Ahaziah ei fab a deyrnasodd yn ei 2 Chron. 22. 6.
le ef. ac a elwir *Jehoahaz,*
25 ¶ Yn y ddeuddegfed flwyddyn i Jo-
ram fab Ahab frenhin Israel yr aeth Ahaziah 2 Chron. 21. 17. a 25. 23.
mab Jehoram brenhin Judah yn frenhin.
26 Mab dwy flwydd ar hugain *oedd* Aha- 885.
ziah pan aeth efe yn frenhin; ac un flwy-
ddyn y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac
enw ei fam ef *oedd* Athaliah, ‡ merch Omri ‡ Neu, *wyres.*
brenhin Israel.
27 Ac efe a rodiodd yn ffordd tŷ Ahab, Edrych adn. 18.
ac a wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr
ARGLWYDD, fel tŷ Ahab: canys § dâw tŷ § *mab ynghyfraith.*
Ahab *ydoedd* efe.
28 ¶ Ac efe a aeth gyd â Joram mab 884.
Ahab i ryfel yn erbyn Hazael brenhin Syria
i ‖ Ramoth-gilead; a'r Syriaid a darawsant ‖ *Ramah,* adn. 29.
Joram.
29 A [p] Joram y brenhin a ddychwelodd [p] Pen. 9. 15.
i Jezreel i ymiachâu o'r briwiau † a roisai'r
Syriaid iddo ef yn Ramah, wrth ymladd o † Heb. *â'r rhai yr archollasai y Syriaid ef.*
hono ef yn erbyn Hazael brenhin Syria:
ac [q] Ahaziah mab Jehoram brenhin Judah a
aeth i wared i ymweled â Joram mab Ahab [q] 2 Chron. 22. 6, 7.
yn Jezreel; canys claf ydoedd.

## PEN. IX.

1 *Eliseus yn danfon prophwyd ieuangc i en-* Sul 11 ar ol y Drindod, P.
*neinio Jehu yn Ramoth-gilead.* 4 *Y pro-*
*phwyd wedi gwneuthur ei neges, yn ffoi.* Mai 13. P.
11 *Jehu, wedi ei wneuthur yn frenhin gan y*
*milwŷr, yn lladd Joram ym maes Naboth.*
27 *Lladd Ahaziah yn Gur, a'i gladdu yn*
*Jerusalem.* 30 *Taflu Jezebel allan trwy ffe-*
*nestr, a chwn yn ei bwytta hi.*

AC Eliseus y prophwyd a alwodd un o 884.
[a] feibion y prophwydi, ac a ddywed- [a] 1 Bren. 20. 35.
odd wrtho, [b] Gwregysa dy lwynau, a chym- [b] Pen. 4. 29.
mer y phiolaid olew hon yn dy law, a dos i
Ramoth-gilead. Jer. 1. 17.
2 A phan ddelych yno, edrych yno am
Jehu mab Jehosaphat, fab Nimsi; a dos i
mewn, a phar iddo godi o fysg [c] ei frodyr, a [c] Adn. 5. 11.
dwg ef i 'stafell † ddirgel:
3 Yna [d] cymmer y phiolaid olew, a thy- † Heb. *o fewn ystafell.*
wallt ar ei ben ef, a dywed, Fel hyn y dy-
wedodd yr ARGLWYDD; Mi a'th enneiniais [d] 1 Bren. 19. 16.
di yn frenhin ar Israel: yna agor y drws, a
ffo, ac nac aros.
4 ¶ Felly y llangc, *sef* llangc y prophwyd,
a aeth i Ramoth-gilead.
5 A phan ddaeth efe, wele tywysogion y
llu *oedd* yn eistedd: ac efe a ddywedodd, Y
mae i mi air â thi, O dywysog. A dywed-
odd Jehu, A pha un o honom ni oll? Dy-
wedodd yntau, A thydi, O dywysog.
6 Ac efe a gyfododd, ac a aeth i mewn
i'r tŷ: ac yntau a dywalltodd yr olew ar ei
ben ef, ac a ddywedodd wrtho, Fel hyn y
dywed ARGLWYDD DDUW Israel; [e] Myfi [e] 2 Chron. 22. 7.
a'th enneiniais di yn frenhin ar bobl yr
ARGLWYDD, *sef* ar Israel.
7 A thi a darewi dŷ Ahab dy arglwydd; [f] 1 Bren. 21. 15.
fel y dialwyf fi waed fy ngweision y pro-
phwydi, a gwaed holl weision yr AR- [g] 1 Bren. 14. 10. a 21. 21.
GLWYDD, [f] ar law Jezebel.
8 Canys holl dŷ Ahab a ddifethir: a [g] mi [h] 1 Sam. 25. 22.
a dorraf ymaith oddi wrth Ahab [h] yr hwn

[l] Deut. 32. 36. [k] 1 Bren. 14. 10. a 15. 29. a 21. 22. [l] 1 Bren. 16. 3, 11.

a biso ar bared, [l] y gwarchaeedig hefyd, a'r hwn a adawyd yn Israel.

9 A mi a wnaf dŷ Ahab fel tŷ [k] Jeroboam mab Nebat, ac fel tŷ [l] Baasa mab Ahïah.

10 A'r cwn a fwyttânt Jezebel yn rhandir Jezreel, ac ni *bydd* a'i claddo *hi.* Ac efe a agorodd y drws, ac a ffodd.

[m] Jer. 29. 26. Ioan 10. 20. Act. 26. 24. 1 Cor. 4. 10.

11 ¶ A Jehu a aeth allan at weision ei arglwydd, a dywedwyd wrtho ef, *A yw* pob peth yn dda? pa ham y daeth [m] yr ynfyd hwn attat ti? Dywedodd yntau wrthynt, Chwi a adwaenoch y gwr, a'i ymadroddion.

12 Dywedasant hwythau, Celwydd, mynega yn awr i ni. Dywedodd yntau, Fel hyn ac fel hyn y llefarodd wrthyf, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Mi a'th enneiniais di yn frenhin ar Israel.

[n] Mat. 21. 7. † Heb. *yn teyrnasu.*

13 A hwy a frysiasant, ac [n] a gymmerasant bob un ei wisg, ac a'i gosodasant dano ef ar ben uchaf y grisiau, ac a ganasant mewn udgorn, ac a ddywedasant, Jehu sydd † frenhin.

14 A Jehu mab Jehosaphat mab Nimsi a gyd-fwriadodd yn erbyn Joram: (a Joram oedd yn cadw Ramoth-Gilead, efe a holl Israel, rhag Hazael brenhin Syria:

‡ Heb. *Jehoram.* [o] Pen. 8. 29. § Heb. *y tarawsai.*

15 Ond ‡ [o] Joram y brenhin a ddychwelasai i ymiachâu i Jezreel, o'r archollion â'r rhai § yr archollasai 'r Syriaid ef wrth ymladd o hono yn erbyn Hazael brenhin Syria.) A dywedodd Jehu, Os mynnwch chwi nac eled *un* dïangol o'r ddinas i fyned i fynegi i Jezreel.

16 Felly Jehu a farchogodd mewn cerbyd, ac a aeth i Jezreel (canys Joram oedd yn gorwedd yno.) Ac Ahazïah brenhin Judah a ddaethai i wared i ymweled â Joram.

17 A gwyliwr oedd yn sefyll ar y tŵr yn Jezreel, ac a ganfu fintai Jehu pan oedd efe yn dyfod, ac a ddywedodd, Yr ydwyf yn gweled mintai. A Joram a ddywedodd, Cymmer wr march, ac anfon i'w cyfarfod hwynt, a dyweded, *Ai* heddwch?

18 A gwr march a aeth i'w gyfarfod ef, ac a ddywedodd, Fel hyn y dywed y brenhin, *A oes* heddwch? A dywedodd Jehu, Beth *sydd* i ti *a ofynych* am heddwch? tro yn fy ol i. A'r gwyliwr a fynegodd, gan ddywedyd, Y gennad a ddaeth hyd attynt hwy, ond nid yw efe yn dychwelyd.

19 Yna efe a anfonodd yr ail gwr march, ac efe a ddaeth attynt hwy, ac a ddywedodd, Fel hyn y dywedodd y brenhin, *A oes* heddwch? A dywedodd Jehu, Beth *sydd* i ti *a ofynych* am heddwch? tro yn fy ol i.

|| Neu, *cerdded-iad.*

20 A'r gwyliwr a fynegodd, gan ddywedyd, Efe a ddaeth hyd attynt hwy, ond nid yw efe yn dychwelyd: a'r || gyrriad *sydd* fel gyrriad Jehu mab Nimsi; canys y mae efe yn gyrru yn ynfyd.

[p] 2 Chron. 22. 7. † Heb. *chawsant ef.*

21 A Joram a ddywedodd, Rhwym *y cerbyd.* Yntau a rwymodd ei gerbyd ef. A [p] Joram brenhin Israel a aeth allan, ac Ahazïah brenhin Judah, pob un yn ei gerbyd, a hwy a aethant yn erbyn Jehu, a † chyfarfuant ag ef yn rhandir Naboth y Jezreeliad.

22 A phan welodd Joram Jehu, efe a ddywedodd, *A oes* heddwch, Jehu? Dywedodd yntau, Pa heddwch tra *fyddo* puteindra Jezebel dy fam di, a'i hudoliaeth, *mor* aml?

23 A Joram a drodd ei law, ac a ffodd, ac a ddywedodd wrth Ahazïah, *Y mae* bradwriaeth, O Ahazïah.

‡ Heb. *lanwodd ei law â bwa.* § Heb. *ymgrymmodd.*

24 A Jehu a ‡ gymmerth fwa yn ei law, ac a darawodd Joram rhwng ei ysgwyddau, fel yr aeth y saeth trwy ei galon ef, ac efe a § syrthiodd yn ei gerbyd.

[q] 1 Bren. 21. 29.

25 A *Jehu* a ddywedodd wrth Bidcar ei dywysog, Cymmer, bwrw ef i randir maes Naboth y Jezreeliad: canys cofia pan oeddym ni, mi a thi, yn marchogaeth ynghŷd ein dau ar ol Ahab ei dad ef, [q] roddi o'r ARGLWYDD arno ef y baich hwn.

26 Dïau, meddai'r ARGLWYDD, gwaed Naboth, a gwaed ei feibion a welais i neithiwyr, a mi a dalaf i ti yn y rhandir hon, medd yr ARGLWYDD. Gan hynny cymmer *a* bwrw ef yn awr yn y rhandir hon, yn ol gair yr ARGLWYDD.

27 ¶ Ond pan welodd Ahazïah brenhin Judah *hynny,* efe a ffodd ar hŷd ffordd tŷ'r ardd. A Jehu a ymlidiodd ar ei ol ef, ac a ddywedodd, Tarêwch hwn hefyd yn *ei* gerbyd. *A hwy a'i tarawsant ef* yn rhiw Gur, yr hon *sydd* wrth Ibleam; ac efe a ffodd i Megido, ac a fu farw yno.

28 A'i weision a'i dygasant ef mewn cerbyd i Jerusalem, ac a'i claddasant ef yn ei feddrod gyd â'i dadau, yn ninas Dafydd.

29 Ac yn yr unfed flwyddyn ar ddeg i Joram fab Ahab yr aethai Ahazïah yn frenhin ar Judah.

|| Heb. *llygaid.*

30 ¶ A phan ddaeth Jehu i Jezreel, Jezebel a glybu *hynny,* ac a golurodd ei || hwyneb, ac a wisgodd yn wych am ei phen, ac a edrychodd trwy ffenestr.

[r] 1 Bren. 16. 9—20.

31 A phan oedd Jehu yn dyfod i mewn i'r porth, hi a ddywedodd, [r] *A fu* heddwch i Zimri, yr hwn a laddodd ei feistr?

32 Ac efe a ddyrchafodd ei wyneb at y ffenestr, ac a ddywedodd, Pwy *sydd* gyd â mi, pwy? A dau *neu* dri o'r ystafellyddion a edrychasant arno ef.

33 Yntau a ddywedodd, Teflwch hi i lawr. A hwy a'i taflasant hi i lawr; a thaenellwyd *peth* o'i gwaed hi ar y pared, ac ar y meirch: ac efe a'i mathrodd hi.

[s] 1 Bren. 16. 31.

34 A phan ddaeth efe i mewn, efe a fwyttaodd ac a yfodd, ac a ddywedodd, Edrychwch am y *wraig* felldigedig honno, a chleddwch hi; canys [s] merch brenhin *ydyw* hi.

35 A hwy a aethant i'w chladdu hi; ond ni chawsant o honi onid y benglog, a'r traed, a chledrau y dwylaw.

[t] 1 Bren. 21. 23.

36 Am hynny hwy a ddychwelasant, ac a fynegasant iddo ef. Dywedodd yntau, Dyma air yr ARGLWYDD, yr hwn a lefarodd efe trwy law ei wasanaethwr Elias y Thesbiad, gan ddywedyd, [t] Yn rhandir Jezreel y bwytty'r cwn gnawd Jezebel:

37 A chelain Jezebel a fydd fel tommen ar wyneb y maes, yn rhandir Jezreel; fel na ellir dywedyd, Dyma Jezebel.

## PEN. X.

Sul 12 ar ol y Drindod, B. Mai 14. B.

1 *Jehu trwy lythyrau yn peri torri pennau deng mab a thrugain Ahab;* 8 *ac yn ei esgusodi ei hun â phrophwydoliaeth Elias:* 12 *yn lladd dau a deugain o frodyr Ahazïah wrth y tŷ cneifio:* 15 *yn cymmeryd Jehonadab atto;* 18 *a thrwy gyfrwysdra yn difetha holl addolwŷr Baal:* 29 *yn canlyn pechodau Jeroboam.* 32 *Hazael yn gorthrymmu Israel.* 34 *Joachaz yn frenhin ar ol Jehu.*

884.

AC i Ahab *yr oedd* deng mab a thrugain yn Samaria. A Jehu a 'sgrifenodd lythyrau, ac a anfonodd i Samaria, at dywysogion Jezreel, *ac* at yr henuriaid, ac at dadmaethod Ahab, gan ddywedyd,

2 Ac yn awr pan ddêl y llythyr hwn at-
toch chwi, canys gyd â chwi *y mae* meib-
ion eich arglwydd, a chennych chwi *y mae*
cerbydau, a meirch, a dinasoedd caerog, ac
arfau:
3 Yna edrychwch yr hwn sydd oreu, ac
yn gymhwysaf o feibion eich arglwydd, a
gosodwch *ef* ar deyrn-gadair ei dad, ac ym-
leddwch dros dŷ eich arglwydd.
4 A hwy a ofnasant yn ddirfawr, ac a ddy-
wedasant, Wele, dau frenhin ni safasant o'i
flaen ef: pa fodd gan hynny y safwn ni?
5 Am hynny 'r anfonodd yr hwn *oedd* ar
y tŷ, a'r hwn *oedd* ar y ddinas, a'r henur-
iaid, a'r tadmaethod, at Jehu, gan ddy-
wedyd, Dy weision di *ydym* ni, a'r hyn oll
a ddywedych di wrthym, a wnawn ni; ni
wnawn ni neb yn frenhin: gwna 'r *hyn a*
*fyddo* da yn dy olwg.
6 Yna efe a 'sgrifenodd yr ail llythyr
† Heb. attynt hwy, gan ddywedyd, Os † eiddof fi
*trosof y* *fyddwch*, ac *os* ar fy llais i y gwrandêwch,
*byddwch.* cymmerwch bennau 'r gwŷr, meibion eich
arglwydd, a deuwch attaf fi y pryd hyn y
foru i Jezreel. A meibion y brenhin, *sef*
deng-nyn a thrugain, *oedd* gyd â phennaeth-
iaid y ddinas, y rhai oedd yn eu meithrin
hwynt.
7 A phan ddaeth y llythyr attynt, hwy a
gymmerasant feibion y brenhin, ac a ladd-
asant ddeng-nyn a thrugain, ac a osodasant
eu pennau hwynt mewn basgedau, ac a'*u*
danfonasant atto ef i Jezreel.
8 ¶ A chennad a ddaeth ac a fynegodd
iddo ef, gan ddywedyd, Hwy a ddygasant
bennau meibion y brenhin. Dywedodd yn-
tau, Gosodwch hwynt yn ddau bentwr wrth
ddrws y porth hyd y bore.
9 A'r bore efe a aeth allan, ac a safodd,
ac a ddywedodd wrth yr holl bobl, Cyfiawn
*ydych* chwi: wele, myfi a gyd-fwriedais yn
erbyn fy arglwydd, ac a'i lleddais ef: ond
pwy a laddodd yr holl rai hyn?
10 Gwybyddwch yn awr na syrth *dim*
o air yr ARGLWYDD i'r ddaear, yr hwn a
lefarodd yr ARGLWYDD am dŷ Ahab: canys
gwnaeth yr ARGLWYDD yr hyn a lefarodd
[a] 1 Bren. efe [a] trwy law Elïas ei was.
21. 19, 21, 11 Felly Jehu a darawodd holl weddillion
29. tŷ Ahab yn Jezreel, a'i holl bennaethiaid
‡ Neu, ef, a'i ‡ gyfnescifiaid ef, a'i offeiriaid, fel na
*gydnabod.* adawyd un yngweddill.
12 ¶ Ac efe a gyfododd, ac a aeth ymaith
hefyd, ac a ddaeth i Samaria. *Ac* fel *yr oedd*
*efe wrth* dŷ cneifio 'r bugeiliaid ar y ffordd,
[b] 2 Chron. 13 [b] Jehu a gyfarfu â brodyr Ahazïah
22. 8. brenhin Judah, ac a ddywedodd, Pwy *ydych*
chwi? Dywedasant hwythau, Brodyr Aha-
zïah *ydym* ni; a ni a ddaethom i wared i
gyfarch gwell i feibion y brenhin, ac i feib-
ion y frenhines.
14 Ac efe a ddywedodd, Deliwch hwynt
yn fyw. A hwy a'u daliasant hwy yn fyw,
ac a'u lladdasant hwy wrth bydew y tŷ
cneifio, *sef* dau wr a deugain, ac ni adaw-
odd efe wr o honynt.
15 ¶ A phan aethai efe oddi yno, efe
§ Heb. a § gyfarfu â [c] Jehonadab fab [d] Rechab yn
*gafodd.* cyfarfod ag ef, ac ‖ a gyfarchodd well iddo,
[c] Jer. 35. 6. ac a ddywedodd wrtho, A yw dy galon di
[d] 1 Chron. yn union, fel *y mae* fy nghalon i gyd â'th
2. 55. galon di? A dywedodd Jehonadab, Ydyw.
‖ Heb. Od ydyw *(eb efe)* [e] moes dy law. Rhodd-
*a'i ben-* odd yntau ei law, ac efe a barodd iddo ddy-
*dithiodd.* fod i fynu atto i'r cerbyd.
[e] Ezr. 10. 16 Ac efe a ddywedodd, Tyred gyd â
19. mi, a gwel fy zel i tu ag at yr ARGLWYDD.
Felly hwy a wnaethant iddo farchogaeth yn
ei gerbyd ef.
17 A phan ddaeth efe i Samaria, [f] efe a [f] 2 Chron.
darawodd yr holl rai a adawsid i Ahab yn 22. 8.
Samaria, nes iddo ei ddinystrio ef, yn ol
gair yr ARGLWYDD, [g] yr hwn a lefarasai [g] 1 Bren.
efe wrth Elïas. 21. 21.
18 ¶ A Jehu a gynhulliodd yr holl bobl
ynghyd, ac a ddywedodd wrthynt, [h] Ahab [h] 1 Bren.
a wasanaethodd Baal ychydig, *ond* Jehu a'i 16. 32.
gwasanaetha ef lawer.
19 Ac yn awr gelwch attaf fi holl bro-
phwydi Baal, ei holl weision, a'i holl offei-
riaid ef, na fydded un yn eisiau; canys aberth
mawr *sydd* gennyf i Baal: pwy bynnag a
fyddo yn eisiau, ni bydd efe byw. Ond
Jehu a wnaeth *hyn* mewn cyfrwysdra, fel y
difethai efe addolwŷr Baal.
20 A Jehu a ddywedodd, † Cyhoeddwch † Heb.
gymmanfa sanctaidd i Baal. A hwy a'i cy- *Sancteidd-*
hoeddasant. *iwch gym-*
21 A Jehu a anfonodd trwy holl Israel: *manfa i*
*Baal.*
a holl addolwŷr Baal a ddaethant, ac nid
oedd un yn eisiau a'r ni ddaethai: a hwy a
ddaethant i dŷ Baal, a llanwyd tŷ Baal o
ben bwy gilydd.
22 Ac efe a ddywedodd wrth yr hwn *oedd*
*geidwad* ar y gwisgoedd, Dwg allan wisg-
oedd i holl addolwŷr Baal. Ac efe a ddug
wisgoedd iddynt.
23 A Jehu a aeth i mewn, a Jehonadab
mab Rechab, i dŷ Baal, ac a ddywedodd wrth
addolwŷr Baal, Chwiliwch ac edrychwch,
rhag bod yma gyd â chwi *neb* o weision yr
ARGLWYDD, ond addolwŷr Baal yn unig.
24 A phan ddaethant i mewn i wneuthur
aberthau, a phoeth-offrymmau, Jehu a o-
sododd iddo allan bedwar ugeinwr, ac a
ddywedodd, *Os* dïangc yr un o'r dynion a
ddygais i'ch dwylaw chwi, einioes yr hwn y
*diango gantho fydd* am ei einioes ef.
25 A phan orphenodd efe wneuthur y
poeth-offrwm, Jehu a ddywedodd wrth y
swyddogion a'r tywysogion, Ewch i mewn,
lleddwch hwynt, na ddeled neb allan. Felly
hwynt a'u tarawsant hwy â min y cleddyf:
a'r swyddogion a'r tywysogion a'*u* taflasant
*hwy* allan, ac a aethant i ddinas tŷ Baal.
26 A hwy a ddygasant allan ddelwau tŷ
Baal, ac a'u llosgasant hwy.
27 A hwy a ddistrywiasant ddelw Baal,
ac a ddinystriasant dŷ Baal, ac a'i gwnaeth-
ant ef yn domdy hyd heddyw.
28 Felly y dileodd Jehu Baal allan o Israel.
29 ¶ Etto pechodau Jeroboam mab Ne-
bat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu, ni
throdd Jehu oddi wrthynt hwy, *sef oddi*
*wrth* [i] y lloi aur *oedd* yn Bethel, a'r rhai [i] 1 Bren.
*oedd* yn Dan. 12. 28.
30 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth
Jehu, O herwydd it' wneuthur yn dda, gan
wneuthur *yr hyn oedd* union yn fy ngolwg
i, yn ol yr hyn oll a'r *a oedd* yn fy ngha-
lon i y gwnaethost i dŷ Ahab, [k] meibion y [k] Pen. 15.
bedwaredd genhedlaeth i ti a eisteddant ar 12.
orseddfaingc Israel. Edr. adn. 35.
31 Ond ‡ nid edrychodd Jehu am rodio Pen. 13. 1,
ynghyfraith ARGLWYDD DDUW Israel â'i 10. a 14. 23.
holl galon: *canys* ni throdd efe oddi wrth a 15. 8, 12.
bechodau Jeroboam, yr hwn a wnaeth i Is- ‡ Heb. *ni*
rael bechu. *wyliodd.*
32 ¶ Yn y dyddiau hynny y dechreuodd Cylch
yr ARGLWYDD dorri cyrrau Israel: a Ha- 860.
zael a'u tarawodd hwynt yn holl derfynau
Israel;

33 O'r Iorddonen *tu a* chodiad haul, *sef*
holl wlad Gilead, y Gadiaid, a'r Reuben-
iaid, a'r Manassiaid, o Aroer (yr hon *sydd*
† Neu, *hyd Gilead.* wrth afon Arnon) † [l] Gilead a Basan hefyd.
34 A'r rhan arall o hanes Jehu, a'r hyn
oll a'r a wnaeth efe, a'i holl gadernid ef;
l Amos 1. 3. onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr
chronicl brenhinoedd Israel?
856. 35 A Jehu a hunodd gyd â'i dadau, a
chladdwyd ef yn Samaria, a Joahaz ei fab
a deyrnasodd yn ei le ef.
36 A'r dyddiau y teyrnasodd Jehu ar
Israel yn Samaria *oedd* wyth mlynedd ar
hugain.

## PEN. XI.

Mai 14. P. 1 *Achub Joas gan ei fodryb Joseba, pan ladd-*
*odd Athaliah yr had brenhinol, a'i guddio*
*chwe blynedd yn nhŷ Dduw.* 4 *Jehoiada,*
*trwy gynhorthwy'r tywysogion, ar y seithfed*
*flwyddyn yn ei wneuthur ef yn frenhin.*
13 *Lladd Athaliah.* 17 *Jehoiada yn adferu*
*gwasanaeth Duw.*

884. A Phan welodd [a] Athaliah [b] mam Aha-
a 2 Chron. 22. 10. ziah farw o'i mab, hi a gyfododd, ac
a ddifethodd † yr holl had brenhinol.
b Pen. 8. 26. 2 Ond ‡ Joseba merch y brenhin Joram,
† Heb. *holl had y frenhiniaeth.* chwaer Ahaziah, a gymmerth Joas fab Aha-
ziah, ac a'i lladrattaodd ef o fysg meibion
y brenhin *y rhai* a laddwyd: a hwy a'i
cuddiasant ef a'i fammaeth yn ystafell y
‡ 2 Chron. 22. 11, *Josebeu.* gwelyau, rhag Athaliah, fel na laddwyd ef.
3 Ac efe a fu gyd â hi ynghudd *yn* nhŷ'r
ARGLWYDD chwe blynedd: ac Athaliah
oedd yn teyrnasu ar y wlad.
878. 4 ¶ Ac [c] yn y seithfed flwyddyn yr an-
c 2 Chron. 23. 1. fonodd Jehoiada, ac y cymmerth dywys-
ogion y cannoedd, *a'r* capteniaid, a'r swydd-
ogion, ac a'u dug hwynt i mewn atto
i dŷ'r ARGLWYDD, ac a wnaeth â hwynt
gyfammod, ac a wnaeth iddynt dyngu yn
nhŷ'r ARGLWYDD, ac a ddangosodd idd-
ynt fab y brenhin.
5 Ac efe a orchymynodd iddynt, gan
ddywedyd, Dyma'r peth a wnewch chwi;
Trydedd ran o honoch sy'n dyfod i mewn
d 1 Chron. 9. 25. [d] *ar* y Sabboth, a gadwant wyliadwriaeth
tŷ'r brenhin;
6 A thrydedd ran *fydd* ym mhorth Sur;
a thrydedd ran yn y porth o'r tu ol i'r
swyddogion: felly y cedwch wyliadwriaeth
y tŷ rhag ei dorri.
§ Neu, *dwy fintai.* Heb. *dwy law.* 7 A § deuparth o honoch oll sydd yn my-
ned allan ar y Sabboth, a gadwant wyliadwri-
aeth tŷ'r ARGLWYDD, ynghylch y brenhin.
8 A chwi a amgylchynwch y brenhin o
bob parth, pob un â'i arfau yn ei law; a'r
hwn a ddelo i'r rhesau, lladder ef: a bydd-
wch gyd â'r brenhin pan elo efe allan, a
phan ddelo efe i mewn.
e 2 Chron. 23. 8. 9 [e] A thywysogion y cannoedd a wnaeth-
ant yn ol yr hyn oll a orchymynasai Je-
hoiada yr offeiriad, a chymmerasant bawb
eu gwŷr y rhai oedd yn dyfod i mewn *ar* y
Sabboth, gyd â'r rhai oedd yn myned allan
*ar* y Sabboth; ac a ddaethant at Jehoiada
yr offeiriad.
10 A'r offeiriad a roddodd i dywysogion y
cannoedd waywffyn a thariannau y brenhin
Dafydd, y rhai *oedd* yn nhŷ'r ARGLWYDD.
11 A'r swyddogion a safasant bob un â'i
‖ Heb. *ysgwydd ddehau.* arfau yn ei law, o'r ‖ tu dehau i'r tŷ, hyd y
tu aswy i'r tŷ, wrth yr allor a'r tŷ, am-
gylch ogylch y brenhin.
12 Ac efe a ddug allan fab y brenhin, ac
a roddodd y goron arno ef, a'r dystiolaeth;
a hwy a'i hurddasant ef yn frenhin, ac a'i
heneiniasant ef; curasant hefyd eu dwy-
law, a dywedasant, Byw fyddo'r brenhin.
13 ¶ A phan glybu Athaliah drwst y bobl
yn rhedeg, hi a ddaeth i mewn at y bobl i
dŷ'r ARGLWYDD.
14 A phan edrychodd hi, wele, y brenhin
oedd yn sefyll [f] wrth y golofn yn ol yr ar- f Pen. 23. 3.
fer, a'r tywysogion a'r udgyrn yn ymyl y 2 Chron.
brenhin, a holl bobl y wlad yn llawen, ac 34. 31.
yn canu mewn udgyrn. Ac Athaliah a rwy-
godd ei dillad, ac a waeddodd, Bradwriaeth,
bradwriaeth.
15 A Jehoiada yr offeiriad a orchymyn-
odd i dywysogion y cannoedd, y rhai oedd
wedi eu gosod ar y llu, ac a ddywedodd
wrthynt, Dygwch hi o'r tu allan i'r rhesau;
a'r hwn a ddelo ar ei hol hi, lladder ef â'r
cleddyf: canys dywedasai yr offeiriad, Na
ladder hi yn nhŷ'r ARGLWYDD.
16 A hwy a osodasant ddwylaw arni hi,
a hi a aeth ar hŷd y ffordd feirch i dŷ'r
brenhin, ac yno y lladdwyd hi.
17 ¶ [g] A Jehoiada a wnaeth gyfammod g 2 Chron.
rhwng yr ARGLWYDD a'r brenhin a'r bobl, 23. 16.
i fod o honynt yn bobl i'r ARGLWYDD;
[h] a rhwng y brenhin a'r bobl. h 2 Sam. 5. 3.
18 A holl bobl y wlad a aethant i dŷ
Baal, ac a'i dinystriasant ef a'i allorau, ei
ddelwau hefyd a ddrylliasant hwy yn chwil-
friw, lladdasant hefyd Mattan offeiriad Baal
o flaen yr allorau. [i] A'r offeiriad a osododd i 2 Chron.
oruchwylwŷr ar dŷ'r ARGLWYDD. 23. 18.
19 Efe a gymmerth hefyd dywysogion y
cannoedd, a'r capteniaid, a'r swyddogion,
a holl bobl y wlad, a hwy a ddygasant i
wared y brenhin o dŷ'r ARGLWYDD, ac a
ddaethant ar hŷd ffordd porth y swyddog-
ion, i dŷ'r brenhin: ac efe a eisteddodd ar
orseddfa'r brenhinoedd.
20 A holl bobl y wlad a lawenychasant,
a'r ddinas a lonyddodd: a hwy a laddasant
Athaliah â'r cleddyf *wrth* dŷ'r brenhin.
21 [k] Mab saith mlwydd *oedd* Joas pan aeth k 2 Chron.
efe yn frenhin. 24. 1.

## PEN. XII.

1 *Joas yn teyrnasu yn dduwiol tra fu fyw Je-* Mai 15. B.
*hoiada;* 4 *ac yn peri cyweirio'r deml.* 17
*Troi Hazael oddi wrth Jerusalem ag anrheg*
*o'r trysorau cyssegredig.* 19 *Ei weision yn*
*lladd Joas, ac Amasiah yn myned yn fren-*
*hin ar ei ol ef.*

YN [a] y seithfed flwyddyn i Jehu y de- 878.
chreuodd Joas deyrnasu, a deugain a 2 Chron.
mlynedd y teyrnasodd efe yn Jerusalem. 24. 1.
Ac enw ei fam ef *oedd* Sibiah o Beerseba.
2 A Joas a wnaeth *yr hyn oedd* union yng-
olwg yr ARGLWYDD ei holl ddyddiau, *yn*
y rhai y dysgodd Jehoiada yr offeiriad ef.
3 Er hynny [b] ni thynnasid ymaith yr b 1 Bren.
uchelfeydd: y bobl oedd etto yn offrymmu 15. 14. a 22. 43.
ac yn arogl-darthu yn yr uchelfeydd. Pen. 14. 4.
4 ¶ A Joas a ddywedodd wrth yr offei-
riaid, [c] Holl arian y † pethau cyssegredig a c Pen. 22. 4.
ddyger i mewn i dŷ'r ARGLWYDD, [d] arian
y gwr a gynniweiro, arian ‡ gwerth eneid- † Heb. *sancteiddiadau.*
iau pob un, *a'r* holl arian a [e] glywo neb ar ei
galon eu dwyn i mewn i dŷ'r ARGLWYDD. d Exod. 30. 13.
5 Cymmered yr offeiriaid *hynny* iddynt,
pawb gan ei gydnabod, a chyweiriant a- ‡ Heb. *eneidiau ei brisiad ef.*
dwyau'r tŷ, pa le bynnag y caffer adwy Lef. 27. 2.
ynddo.
6 Ond yn y drydedd flwyddyn ar hugain e Exod. 35. 5.
i'r brenhin Joas, nid atgyweiriasai'r offei-
riaid agennau'r tŷ. 856.
7 Yna y brenhin Joas a alwodd am Je-
hoiada yr offeiriad, a'r offeiriaid *eraill*, ac a

ddywedodd wrthynt, Pa ham nad ydych
chwi yn cyweirio agennau'r tŷ? yn awr
gan hynny, na dderbyniwch arian gan eich
cydnabod, ond rhoddwch hwy at *gyweirio*
adwyau'r tŷ.
8 A'r offeiriaid a gyd-syniasant na dder-
bynient arian gan y bobl, ac na chyweirient
agennau'r tŷ.
9 Eithr Jehoiada yr offeiriad a gymmerth
gist, ac a dyllodd dwll yn ei chaead, ac a'i
gosododd hi o'r tu dehau i'r allor, ffordd y
delai un i mewn i dŷ'r ARGLWYDD: a'r
† Heb. *rhiniog.* offeiriaid, y rhai oedd yn cadw y † drws, a
roddent yno'r holl arian a ddygid i mewn i
dŷ'r ARGLWYDD.
10 A phan welent *fod* llawer o arian yn
y gist, y dae 'sgrifenydd y brenhin, a'r arch-
‡ Heb. *rwyment.* offeiriad, i fynu, ac a ‡ roent mewn codau,
ac a gyfrifent yr arian a gawsid yn nhŷ'r
ARGLWYDD.
11 A hwy a roddasant yr arian wedi eu
cyfrif, yn nwylaw gweithwŷr y gwaith, go-
ruchwylwŷr tŷ'r ARGLWYDD: a hwy a'i
§ Heb. *dygasant allan.* § talasant i'r seiri pren, ac i'r adeiladwŷr
oedd yn gweithio tŷ'r ARGLWYDD,
12 Ac i'r seiri meini, ac i'r naddwŷr
cerrig, ac i brynu coed a cherrig nadd, i
gyweirio adwyau tŷ'r ARGLWYDD, ac am
yr hyn oll a aethai allan i atgyweirio'r tŷ.
13 Etto ni wnaed yn nhŷ'r ARGLWYDD
gwppanau arian, psaltringau, cawgiau, ud-
gyrn, na llestri aur, na llestri arian, o'r arian
a ddygasid i mewn i dŷ'r ARGLWYDD.
14 Eithr hwy a'i rhoddasant i weithwŷr
y gwaith; ac a gyweiriasant â hwynt dŷ'r
ARGLWYDD.
[f] Pen. 22. 7. 15 Ac [f] ni cheisiasant gyfrif gan y dyn-
ion y rhoddasant hwy'r arian yn eu dwylaw
i'w rhoddi i weithwŷr y gwaith: canys yr
oeddynt hwy yn gwneuthur yn ffyddlon.
[g] Lef. 5. 15, 18. 16 [g] Yr arian *dros* gamwedd a'r arian
*dros* bechodau, ni ddygpwyd i mewn i dŷ'r
[h] Num. 18. 9. ARGLWYDD: [h] eiddo'r offeiriaid oeddynt
hwy.
[i] Pen. 8. 12. 17 ¶ Yna [i] Hazael brenhin Syria a aeth
i fynu, ac a ymladdodd yn erbyn Gath,
[k] Edrych 2 Chron. 24. 23. ac a'i hennillodd hi: a [k] Hazael a osododd
ei wyneb i fyned i fynu yn erbyn Jerusa-
lem.
Cylch 840. 18 A Joas brenhin Judah [l] a gymmerth
[l] 1 Bren. 15. 18. Pen. 18. 15, 16. yr holl bethau cyssegredig a gyssegrasai Je-
hosaphat, a Jehoram, ac Ahazïah, ei dadau
ef, brenhinoedd Judah, a'i gyssegredig beth-
au ef ei hun, a'r holl aur a gafwyd yn
nhrysorau tŷ'r ARGLWYDD, a thŷ'r bren-
hin, ac a'u hanfonodd at Hazael brenhin
|| Heb. *aeth i fynu.* Syria, ac efe a || ymadawodd oddi wrth Je-
rusalem.
19 ¶ A'r rhan arall o hanes Joas, a'r
hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn
ysgrifenedig yn llyfr chronicl brenhinoedd
Judah?
[m] Pen. 14. 5. 20 [m] A'i weision ef a gyfodasant, ac a
gyd-fwriadasant fradwriaeth; ac a ladd-
† Neu, *Beth-millo.* asant Joas *yn* † nhŷ Milo, wrth ddyfod i
wared i Sila.
[n] 2 Chron. 24. 26, *Zabad.* 21 A [n] Jozachar mab Simeath, a Jozabad
mab Somer, ei weision ef, a'i tarawsant ef,
839. ac efe a fu farw; a hwy a'i claddasant ef
gyd â'i dadau yn ninas Dafydd: ac Amasïah
ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PEN. XIII.

Mai 15. P. 1 *Annuwiol lywodraeth Joahaz;* 3 *a Hazael yn ei orthrymmu ef; ac yntau yn cael ymwared trwy weddi.* 8 *Joas yn teyrnasu yn ei le ef;* 10 *ei annuwiol lywodraeth yntau.* 12 *Jeroboam yn dyfod ar ei ol ef.* 14 *Eliseus wrth farw yn prophwydo y gorchfygai Joas y Syriaid dair gwaith.* 20 *Y Moabiaid yn dyfod yn erbyn y wlad, ac esgyrn Eliseus yn cyfodi gwr marw.* 22 *Hazael yn marw, a Joas deirgwaith yn gorchfygu Benhadad.*

YN y drydedd flwyddyn ar hugain i Joas 856.
fab Ahazïah brenhin Judah, y teyrnas-
odd Joahaz mab Jehu ar Israel yn Samaria,
*a* dwy flynedd ar bymtheg *y teyrnasodd efe.*
2 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD, ac a rodiodd ar ol
pechodau Jeroboam mab Nebat, yr hwn a
wnaeth i Israel bechu; ni throdd oddi wrth-
ynt hwy.
3 ¶ A digofaint yr ARGLWYDD a lid- Cylch
iodd yn erbyn Israel; ac efe a'u rhoddodd 849.
hwynt yn llaw [a] Hazael brenhin Syria, ac [a] Pen. 8. 12.
yn llaw Benhadad mab Hazael, *eu* holl ddy-
ddiau *hwynt.*
4 A Joahaz a erfyniodd ar yr ARGLWYDD, Cylch
a gwrandawodd yr ARGLWYDD arno ef; 842.
o herwydd iddo ganfod gorthrymder Is-
rael, canys brenhin Syria a'u gorthrymmai
hwynt.
5 (A'r ARGLWYDD a roddodd [b] achub- [b] Edrych adn. 25. a Pen. 14. 25, &c.
wr i Israel, fel yr aethant oddi tan law y
Syriaid: a meibion Israel a drigasant yn eu
pebyll fel † cynt. † Heb. *doe ac echdoe.*
6 Etto ni throisant hwy oddi wrth be-
chodau tŷ Jeroboam, yr hwn a wnaeth i Is-
rael bechu, *eithr* ‡ rhodiasant ynddynt hwy: ‡ Heb. *rhodiodd.*
a'r [c] llwyn hefyd a safai yn Samaria.) [c] 1 Bren. 16. 33.
7 Ac ni adawodd efe i Joahaz o'r bobl,
ond deg a deugain o wŷr meirch, a deg
cerbyd, a deng mil o wŷr traed: o he-
rwydd brenhin Syria a'u dinystriasai hwynt,
ac a'u gwnaethai hwynt fel llwch wrth
[d] ddyrnu. [d] Amos 1. 3.
8 ¶ A'r rhan arall o hanes Joahaz, a'r
hyn oll a wnaeth efe, a'i gadernid, onid
*ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr chronicl
brenhinoedd Israel?
9 A Joahaz a hunodd gyd â'i dadau, a 839.
chladdasant ef yn Samaria, a Joas ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.
10 ¶ Yn y ddwyfed flwyddyn ar bym- 841.
theg ar hugain i Joas frenhin Judah, y
teyrnasodd Joas mab Joahaz ar Israel yn
Samaria: un mlynedd ar bymtheg *y teyr-
nasodd efe.*
11 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD: ni throdd efe
oddi wrth holl bechodau Jeroboam mab
Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu;
*eithr* efe a rodiodd ynddynt.
12 [e] A'r rhan arall o hanes Joas, a'r [f] hyn [e] Pen. 14. 15.
oll a wnaeth efe, a'i [g] gadernid, *trwy*'r hwn
yr ymladdodd efe ag Amasïah brenhin Ju- [f] Edrych adn. 14, 25.
dah, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr
chronicl brenhinoedd Israel? [g] Pen. 14. 9, &c.
13 A Joas a hunodd gyd â'i dadau, a Je-
roboam a eisteddodd ar ei deyrn-gadair
ef: a Joas a gladdwyd yn Samaria gyd â 825.
brenhinoedd Israel.
14 ¶ Ac yr oedd Elisëus yn glaf o'r Cylch
clefyd y bu efe farw o hono, a Joas bren- 839.
hin Israel a ddaeth i wared atto ef, ac a
wylodd ar ei wyneb ef, ac a ddywedodd,
O [h] fy nhad, fy nhad, cerbyd Israel, a'i [h] Pen. 2. 12.
farchogion.
15 Ac Elisëus a ddywedodd wrtho ef,
Cymmer fwa a saethau. Ac efe a gym-
merth fwa a saethau.

16 Ac efe a ddywedodd wrth frenhin Is-
rael, Dod dy law ar y bwa. Ac efe a rodd-
odd ei law: ac Eliseus a osododd ei ddwy-
law ar ddwylaw 'r brenhin.
17 Ac efe a ddywedodd, Agor y ffenestr
tu a'r dwyrain. Yntau a'i hagorodd. Yna
y dywedodd Eliseus, Saetha. Ac efe a saeth-
odd. Dywedodd yntau, Saeth ymwared
yr ARGLWYDD, a saeth ymwared rhag Sy-
ria; a thi a darewi 'r Syriaid yn Aphec, nes
*eu* difa *hwynt.*
18 Hefyd efe a ddywedodd, Cymmer y
saethau. Ac efe a'*u* cymmerodd. Ac efe a
ddywedodd wrth frenhin Israel, Taro 'r
ddaear. Ac efe a darawodd dair gwaith, ac
a beidiodd.
19 A gwr Duw a ddigiodd wrtho ef, ac a
ddywedodd, *Dylesit* daro bump neu chwech
o weithiau, yna y tarawsit Syria nes *ei* difa:
[i] Adn. 25. [i] ac yn awr tair gwaith y tarewi Syria.
Cylch 20 ¶ Ac Eliseus a fu farw, a hwy a'i
838. claddasant ef. A minteioedd y Moabiaid a
ddaethant i 'r wlad y flwyddyn honno.
21 A phan oeddynt hwy yn claddu gwr,
wele hwy a ganfuant dorf, ac a fwriasant
y gwr i feddrod Eliseus. A phan aeth y
gwr i lawr a chyffwrdd ag esgyrn Eliseus,
[k] Eccl. 48. [k] efe a ddadebrodd, ac a gyfododd ar ei
14. draed.
22 ¶ A Hazael brenhin Syria a orthrym-
modd Israel holl ddyddiau Joahaz.
23 A'r ARGLWYDD a drugarhaodd wrth-
[l] Exod. 2. ynt hwy, ac a dosturiodd wrthynt hwy, ac
24, 25. [l] a drodd attynt hwy, er mwyn ei gyfammod
† Neu, ag Abraham, Isaac, a Jacob, ac ni fynnai eu
wyneb. dinystrio hwynt, ac ni fwriodd efe hwynt
Cylch allan o'i † olwg hyd yn hyn.
839. 24 Felly Hazael brenhin Syria a fu farw;
‡ Heb. a Benhadad ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.
dychwelodd ac 25 A Joas mab Joahaz a ‡ ynnillodd yn
a ynnillodd. eu hol o law Benhadad mab Hazael, y dinas-
oedd a ddygasai efe o law Joahaz ei dad ef
Cylch mewn rhyfel: Joas a'i tarawodd ef [m] dair
836. gwaith, ac a ddug adref ddinasoedd Israel.
[m] Adn. 18,
19.

## PEN. XIV.

Mai 16. B. 1 *Amasïah y brenhin da.* 5 *Ei gyfiawnder ar y rhai a laddasai ei dad ef:* 7 *a'i oruchafiaeth ar Edom.* 8 *Amasïah yn annog Joas, ac yn cael ei orchfygu a'i yspeilio.* 16 *Jeroboam yn dyfod yn lle Joas.* 19 *Lladd Amasïah trwy fradwriaeth.* 21 *Azarïah yn dyfod ar ei ol ef.* 23 *Annuwiol deyrnasiad Jeroboam:* 29 *a Zacharïah yn dyfod yn ei le yntau.*

830. YN yr ail flwyddyn i Joas fab Joahaz
[a] 2 Chron. brenhin Israel y teyrnasodd [a] Amasïah
25. 1. mab Joas brenhin Judah.
2 Mab pum mlwydd ar hugain oedd efe
pan aeth yn frenhin, a naw mlynedd ar
hugain y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac
enw ei fam ef *oedd* Joadan o Jerusalem.
3 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* union yng-
olwg yr ARGLWYDD, etto nid fel Dafydd
ei dad; *ond* efe a wnaeth yn ol yr hyn oll a
wnaethai Joas ei dad ef.
[b] Pen. 12. 4 [b] Er hynny ni thynnwyd ymaith yr
3. uchelfeydd: y bobl oedd etto yn aberthu ac
yn arogl-darthu yn yr uchelfeydd.
5 ¶ A phan sicrhawyd ei deyrnas yn ei
[c] Pen. 12. law ef, efe a laddodd ei weision [c] y rhai a
20. laddasent y brenhin ei dad ef.
6 Ond ni laddodd efe feibion y lleiddiaid;
[d] Deut. 24. fel y mae'n ysgrifenedig yn llyfr cyfraith
16. Moses, yn yr hon y gorchymynasai 'r AR-
Ezec. 18. 4, 20. GLWYDD, gan ddywedyd, [d] Na ladder y
tadau dros y meibion, ac na ladder y meib-
ion dros y tadau; ond lladder pob un am ei
bechod ei hun.
7 Efe a darawodd o'r Edomiaid, yn Cylch
[e] nyffryn yr halen, ddeng mil, ac a ynnill- 827.
odd † y graig mewn rhyfel, ac a alwodd ei [e] 2 Sam. 8.
henw Joctheel hyd y dydd hwn. 13.
8 ¶ Yna Amasïah a anfonodd genhadau at Psal. 60.
Joas fab Joahaz, fab Jehu brenhin Israel, tit.
gan ddywedyd, Tyred, gwelwn wyneb ein † Selah.
gilydd. Cylch
9 A Joas brenhin Israel a anfonodd at A- 826.
masïah brenhin Judah, gan ddywedyd, [f] Yr [f] Edrych
ysgellyn yn Libanus a anfonodd at y gedr- Barn. 9. 8.
wydden yn Libanus, gan ddywedyd, Dyro
dy ferch i'm mab i yn wraig. A bwystfil y
maes yr hwn *oedd* yn Libanus a dramwyodd
ac a sathrodd yr ysgellyn.
10 Gan daro y tarewaist yr Edomiaid,
am hynny dy galon a'th falchïodd: ym-
ffrostia, ac eistedd yn dy dŷ: canys i ba beth
yr ymyrri i'th ddrwg dy hun, fel y syrthit
ti, a Judah gyd â thi?
11 Ond ni wrandawai Amasïah. Am hyn-
ny Joas brenhin Israel a aeth i fynu, a hwy
a welsant wynebau eu gilydd, efe ac Ama-
sïah brenhin Judah, yn Bethsemes, yr hon
*sydd* yn Judah.
12 A Judah a darawyd o flaen Israel; a
hwy a ffoisant bawb i'w pebyll.
13 A Joas brenhin Israel a ddaliodd A-
masïah brenhin Judah, mab Joas, fab Aha-
ziah, yn Bethsemes, ac a ddaeth i Jerusalem,
ac a dorrodd i lawr fur Jerusalem, o [g] borth [g] Neh. 12.
Ephraim hyd borth [h] y gongl, bedwar can 39.
cufydd. [h] Jer. 31.
14 Ac efe a gymmerth yr holl aur a'r 38.
arian, a'r holl lestri a'r a gafwyd yn nhŷ 'r
ARGLWYDD, ac yn nhrysorau tŷ 'r bren-
hin, a gwystlon, ac a ddychwelodd i Sa-
maria.
15 ¶ [i] A'r rhan arall o hanes Joas, yr hyn [i] Pen. 13.
a wnaeth efe, a'i gadernid, ac fel yr ymladd- 12.
odd efe ag Amasïah brenhin Judah, onid
*ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr chronicl
brenhinoedd Israel?
16 A Joas a hunodd gyd â'i dadau, ac a Cylch
gladdwyd yn Samaria gyd â brenhinoedd 825.
Israel; a Jeroboam ei fab a deyrnasodd yn
ei le ef.
17 ¶ Ac Amasïah mab Joas brenhin Judah
a fu fyw ar ol marwolaeth Joas fab Joahaz
brenhin Israel bymtheng mlynedd.
18 A'r rhan arall o hanes Amasïah, onid
*ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr chronicl
brenhinoedd Judah?
19 Ond [k] hwy a frad-fwriadasant yn ei [k] 2 Chron.
erbyn ef yn Jerusalem; ac efe a ffodd i 25. 27.
Lachis: etto hwy a anfonasant ar ei ol ef i
Lachis, ac a'i lladdasant ef yno.
20 A hwy a'i dygasant ef ar feirch, ac 810.
efe a gladdwyd yn Jerusalem gyd â'i dadau,
yn ninas Dafydd.
21 ¶ A holl bobl Judah a gymmerasant
[l] Azarïah (ac yntau yn fab un mlwydd ar [l] Pen. 15.
bymtheg) ac a'i hurddasant ef yn frenhin yn 13. 2 Chron.
lle Amasïah ei dad. 26. 1, Uzzïah.
22 Efe a adeiladodd [m] Elath, ac a'i rhodd-
odd hi drachefn i Judah, ar ol huno o'r bren- [m] Pen. 16.
hin gyd â'i dadau. 6.
23 ¶ Yn y bymthegfed flwyddyn i Ama- 825.
sïah fab Joas brenhin Judah y teyrnasodd
Jeroboam mab Joas brenhin Israel yn Sa-
maria; un mlynedd a deugain *y teyrnasodd*
*efe.*
24 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg

yngolwg yr ARGLWYDD: ni chiliodd efe
oddi wrth holl bechodau Jeroboam mab Ne-
n Num. 34. 8. bat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu.
25 Efe a ddug adref derfyn Israel o'r lle 'r
o Deut. 3. 17. n eir i mewn i Hamath hyd o fôr y rhos, yn
ol gair ARGLWYDD DDUW Israel, yr hwn
p Jonah 1. 1. a lefarasai efe trwy law ei was p Jonah mab
Mat. 12. 39, 40. Amittai y prophwyd, yr hwn *oedd* o Gath-
hepher.
822. 26 Canys yr ARGLWYDD a welodd gy-
q Deut. 32. 36. studd Israel yn flin iawn: canys q nid *oedd*
*neb* gwarchaedig, na *neb* wedi ei adael, na
chynnorthwywydd i Israel.
r Pen. 13. 5. 27 r Ac ni lefarasai 'r ARGLWYDD y di-
leai efe enw Israel oddi tan y nefoedd: ond
efe a'u gwaredodd hwynt trwy law Jero-
boam mab Joas.
28 ¶ A'r rhan arall o hanes Jeroboam,
a'r hyn oll a'r a wnaeth efe, a'i gadernid ef,
y modd y rhyfelodd efe, a'r modd y dug
s 2 Sam. 8. 6. efe adref Ddamascus a Hamath, s i Ju-
2 Chron. 8. 3. dah yn Israel, onid *ydynt* hwy yn ysgri-
fenedig yn llyfr chronicl brenhinoedd Is-
rael?
784. 29 A Jeroboam a hunodd gyd â'i dadau,
*sef* gyd â brenhinoedd Israel; a Zachariah
ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PEN. XV.

Mai 16. P. 1 *Daionus deyrnasiad Azarïah.* 5 *Efe yn marw*
*o'r gwahan-glwyf; a Jotham yn dyfod yn ei*
*le ef.* 8 *Zacharïah, y diweddaf o genedl*
*Jehu, yn teyrnasu yn ddrygionus; a'i ladd*
*ef gan Sàlum.* 13 *Sàlum yn teyrnasu fis; a*
*Menahem yn ei ladd ef.* 16 *Menahem yn*
*cael nerth gan Pul.* 22 *Pecahïah yn dyfod*
*yn ei le ef.* 25 *Pecah yn ei ladd ef.* 29
*Tiglath-pileser yn gorthrymmu Pecah; a*
*Hosea yn ei ladd ef.* 32 *Jotham y brenhin*
*da.* 38 *Ahaz yn dyfod ar ei ol ef.*

Cylch 810. YN y seithfed flwyddyn ar hugain i Je-
roboam brenhin Israel a y teyrnasodd
a Pen. 14. 21. b Azariah mab Amasiah brenhin Judah.
2 Chron. 26. 1, 3. 2 Mab un mlwydd ar bymtheg ydoedd
efe pan ddechreuodd deyrnasu, a deuddeng
b A elwir *Uzziah*, adn. 13, 30, &c. mlynedd a deugain y teyrnasodd efe yn Je-
rusalem; ac enw ei fam *oedd* Jecholïah o
Jerusalem.
3 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* union yng-
olwg yr ARGLWYDD, yn ol yr hyn oll a
wnelsai Amasïah ei dad ef;
c Pen. 12. 3. a 14. 4. 4 c Ond na thynnwyd ymaith yr uchel-
Adn. 35. fevdd: y bobl oedd etto yn aberthu ac yn
arogl-darthu yn yr uchelfeydd.
Cylch 765. 5 ¶ A'r ARGLWYDD d a darawodd y
brenhin, fel y bu efe wahan-glwyfus hyd
d 2 Chron. 26. 19. ddydd ei farwolaeth, ac e y trigodd mewn
tŷ o'r neilldu: a Jotham mab y brenhin
e Lef. 13. 46. *oedd* ar y tŷ yn barnu pobl y wlad.
6 A'r rhan arall o hanes Azarïah, a'r
hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn
ysgrifenedig yn llyfr chronicl brenhinoedd
Judah?
Cylch 758. 7 Ac Azarïah a hunodd gyd â'i dadau, a
f chladdasant ef gyd â'i dadau yn ninas
f 2 Chron. 26. 23. Dafydd; a Jotham ei fab a deyrnasodd yn
ei le ef.
Cylch 773. 8 ¶ Yn y drydedd flwyddyn ar bymtheg
ar hugain i Azarïah brenhin Judah, y teyr-
nasodd Zachariah mab Jeroboam ar Israel
yn Samaria chwe mis.
9 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg yng-
olwg yr ARGLWYDD, megis y gwnaethai
ei dadau: ni thrododd efe oddi wrth bechodau
Jeroboam mab Nebat, yr hwn a wnaeth i
Israel bechu.
10 A Sàlum mab Jabes a frad-fwriadodd Cylch
yn ei erbyn ef, ac g a'i tarawodd ef ger bron 772.
y bobl, ac a'i lladdodd ef, ac a deyrnasodd g Amos 7. 9.
yn ei le ef.
11 A'r rhan arall o hanes Zachariah, wele,
*y mae* yn ysgrifenedig yn llyfr chronicl bren-
hinoedd Israel.
12 Dyma h air yr ARGLWYDD, yr hwn h Pen. 10. 30.
a lefarasai efe wrth Jehu, gan ddywedyd,
Meibion y bedwaredd genhedlaeth i ti a
eisteddant ar orseddfa Israel. Ac felly y
bu.
13 ¶ Sàlum mab Jabes a ddechreuodd Cylch
deyrnasu yn y bedwaredd flwyddyn ar 772.
bymtheg ar hugain i i Uzziah, brenhin i Mat. 1. 8, 9.
Judah, a † mis cyfan y teyrnasodd efe yn a elwir
Samaria. Ozias;
14 Canys Menahem mab Gadi a aeth i adn. 1, Azariah.
fynu o k Tirsah, ac a ddaeth i Samaria, ac † Heb.
a darawodd Sàlum mab Jabes yn Samaria, *mis o ddy-*
ac a'i lladdodd ef, ac a deyrnasodd yn ei *ddiau.*
le ef. k 1 Bren.
15 A'r rhan arall o hanes Sàlum, a'i frad- 14. 17.
wriaeth ef yr hon a frad-fwriadodd efe,
wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr chro-
nicl brenhinoedd Israel.
16 ¶ Yna Menahem a darawodd Tiphsah,
a'r rhai oll *oedd* ynddi, a'i therfynau, o Tir-
sah: o herwydd nad agorasant *iddo ef,* am
hynny y tarawodd efe *hi; a'i* holl l wragedd l Pen. 8. 12.
beichiogion a rwygodd efe.
17 Yn y bedwaredd flwyddyn ar bym- 772.
theg ar hugain i Azarïah brenhin Judah y
teyrnasodd Menahem mab Gadi ar Israel,
*a* deng mlynedd *y teyrnasodd efe* yn Sa-
maria.
18 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD: ni throdd efe yn
ei holl ddyddiau oddi wrth bechodau Jero-
boam mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel
bechu.
19 *A* m Phul brenhin Assyria a ddaeth yn 771.
erbyn y wlad; a Menahem a roddodd i m 1 Chron.
Pul fil o dalentau arian, fel y byddai ei law 5. 26.
gyd ag ef, i sicrhâu y frenhiniaeth yn ei Esay 9. 1.
law ef.
20 A Menahem a gododd yr arian ar Is-
rael, *sef* ar yr holl rai cedyrn o allu, ar bob
un ddeg sicl a deugain o arian, i'w rhoddi i
frenhin Assyria; felly brenhin Assyria a
ddychwelodd, ac nid arhosodd yno yn y
wlad.
21 ¶ A'r rhan arall o hanes Menahem,
a'r hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn
ysgrifenedig yn llyfr chronicl brenhinoedd
Israel?
22 A Menahem a hunodd gyd â'i dad-
au; a Phecahïah ei fab a deyrnasodd yn ei 761.
le ef.
23 ¶ Yn y ddegfed flwyddyn a deugain i
Azarïah brenhin Judah y teyrnasodd Peca-
hïah mab Menahem ar Israel yn Samaria, *a*
dwy flynedd *y teyrnasodd efe.*
24 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD: ni throdd efe
oddi wrth bechodau Jeroboam mab Nebat,
yr hwn a wnaeth i Israel bechu.
25 A Phecah mab Remalïah ei dywys- 759.
og ef a frad-fwriadodd yn ei erbyn ef, ac
a'i tarawodd ef yn Samaria, yn llys y bren-
hin, gyd ag Argob, ac Arïeh, a chyd ag ef
ddengwr a deugain o feibion y Gileadiaid:
ac efe a'i lladdodd ef, ac a deyrnasodd yn
ei le ef.
26 A'r rhan arall o hanes Pecahïah, a'r
hyn oll a wnaeth efe, wele hwynt yn

ysgrifenedig yn llyfr chronicl brenhinoedd
Israel.
759. 27 ¶ Yn y ddeuddegfed flwyddyn a
deugain i Azarïah brenhin Judah y teyrn-
[n] Esay 7. asodd [n] Pecah mab Remalïah ar Israel yn
1. Samaria, *ac* ugain mlynedd *y teyrnasodd efe.*
28 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD: ni throdd efe
oddi wrth bechodau Jeroboam mab Nebat,
yr hwn a wnaeth i Israel bechu.
740. 29 Yn nyddiau Pecah brenhin Israel [o] y
[o] Chron. daeth Tiglath-pileser brenhin Assyria, ac
5. 26. Esay 9. 1. a ynnillodd [p] Ijon, ac Abel-bethmaachah,
[p] 1 Bren. a Janoah, Cedes hefyd, a Hazor, a Gilead,
15. 20. a Galilee, holl wlad Naphtali, ac a'u caeth-
gludodd hwynt i Assyria.
739. 30 A Hosea mab Elah a frad-fwriadodd
fradwriaeth yn erbyn Pecah mab Remalïah,
ac a'i tarawodd ef, ac a'i lladdodd, ac a
deyrnasodd yn ei le ef, yn yr ugeinfed
flwyddyn i Jotham fab Uzzïah.
31 A'r rhan arall o hanes Pecah, a'r hyn
oll a wnaeth efe, wele hwynt yn ysgrifen-
edig yn llyfr chronicl brenhinoedd Israel.
32 ¶ Yn yr ail flwyddyn i Pecah fab Re-
malïah brenhin Israel y dechreuodd [q] Jo-
[q] 2 Chron. tham mab Uzzïah brenhin Judah deyrnasu.
27. 1. 33 Mab pum mlwydd ar hugain oedd
efe pan ddechreuodd deyrnasu, ac un
mlwydd ar bymtheg y teyrnasodd efe yn
Jerusalem: ac enw ei fam ef *oedd* Jerusa,
merch Sadoc.
34 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* union
yngolwg yr ARGLWYDD: yn ol yr hyn oll
a'r a wnelsai Uzzïah ei dad.
[r] Adn. 4. 35 ¶ [r] Er hynny ni thynnwyd ymaith yr
uchelfeydd; y bobl oedd etto yn aberthu
ac yn arogl-darthu yn yr uchelfeydd. Efe
a adeiladodd y porth uchaf i dŷ'r AR-
GLWYDD.
36 ¶ A'r rhan arall o hanes Jotham, a'r
hyn oll a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn
ysgrifenedig yn llyfr chronicl brenhinoedd
Judah?
Cylch 37 Yn y dyddiau hynny y dechreuodd
742. yr ARGLWYDD anfon yn erbyn Judah,
[s] Pen. 16. [s] Resin brenhin Syria, a Phecah mab Re-
5. Esay 7. 1. malïah.
38 A Jotham a hunodd gyd â'i dadau,
ac a gladdwyd gyd â'i dadau yn ninas Da-
fydd ei dad, ac Ahaz ei fab a deyrnasodd
yn ei le ef.

## PEN. XVI.

Mai 17. B. 1 *Annuwiol lywodraeth Ahaz.* 5 *Ahaz yn cyflogi Tiglath-pileser yn erbyn Resin a Phecah.* 10 *Ahaz yn anfon portreiad allor o Ddamascus i Urïah, ac yn mynnu 'r allor bres iddo ei hun i offrymmu arni.* 17 *Ahaz yn yspeilio 'r deml.* 19 *A Hezecïah yn teyrnasu ar ei ol ef.*

742. YN y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg
i Pecah fab Remalïah y dechreuodd
Ahaz mab Jotham brenhin Judah deyr-
nasu.
[a] 2 Chron. 2 Mab [a] ugain mlwydd *oedd* Ahaz pan
28. 1. ddechreuodd efe deyrnasu, ac un mlynedd
ar bymtheg y teyrnasodd efe yn Jerusalem,
ac ni wnaeth efe *yr hyn oedd* union yngolwg
yr ARGLWYDD ei DDUW, fel Dafydd ei
dad:
3 Eithr rhodiodd yn ffordd brenhinoedd
[b] Lef. 18. Israel, ac [b] a dynnodd ei fab trwy'r tân, yn
21. ol ffieidd-dra'r cenhedloedd a fwriasai'r
ARGLWYDD allan o flaen meibion Is-
rael.
4 Ac efe a aberthodd ac a arogl-darthodd
yn yr uchelfeydd, ac [c] ar y bryniau, a than [c] Deut. 12.
bob pren gwyrddlas. 2.
5 ¶ [d] Yna y daeth Resin brenhin Syria, 742.
a Phecah mab Remalïah brenhin Israel, i [d] Esay 7. 1.
fynu i Jerusalem i ryfel: a hwy a war-
chaeasant ar Ahaz; ond ni allasant hwy *ei*
orchfygu *ef*.
6 Yn yr amser hwnnw Resin brenhin 742.
Syria a ddug drachefn [e] Elath at Syria, ac [e] Pen. 14.
a yrrodd yr Iuddewon o Elath: a'r Syriaid 22.
a ddaethant i Elath, ac a breswyliasant yno
hyd y dydd hwn.
7 Yna Ahaz a anfonodd genhadau at
† Tiglath-pileser brenhin Assyria, gan ddy- † 1 Chron.
wedyd, Dy was di a'th fab di *ydwyf* fi: 5. 26. 2 Chron.
tyred i fynu, a gwared fi o law brenhin Sy- 28. 31.
ria, ac o law brenhin Israel, y rhai sydd yn
cyfodi yn fy erbyn i.
8 Ac Ahaz [f] a gymmerth yr arian a'r aur 740.
a gafwyd yn nhŷ'r ARGLWYDD, ac yn [f] Pen. 12.
nhrysorau tŷ'r brenhin, ac a'u hanfonodd 18.
yn anrheg i frenhin Assyria. Edrych 2 Chron.
9 A brenhin Assyria a wrandawodd arno 28. 21.
ef; a brenhin Assyria a ddaeth i fynu i Dda-
mascus, ac [g] a'i hynnillodd hi, ac a gaeth- [g] Amos 1.
gludodd ei *thrigolion* i Cir, ac a laddodd 5.
Resin.
10 ¶ A'r brenhin Ahaz a aeth i Ddamas-
cus i gyfarfod Tiglath-pileser brenhin As-
syria, ac a welodd allor *oedd* yn Nddamascus:
a'r brenhin Ahaz a anfonodd at Urïah yr
offeiriad agwedd yr allor a'i phortreiad, yn
ol ei holl wneuthuriad.
11 Ac Urïah yr offeiriad a adeiladodd
allor yn ol yr hyn oll a anfonasai y brenhin
Ahaz o Ddamascus: felly y gwnaeth Urïah,
yr offeiriad, erbyn dyfod y brenhin Ahaz o
Ddamascus.
12 A phan ddaeth y brenhin o Ddamas-
cus, y brenhin a ganfu yr allor: [h] a'r bren- [h] 2 Chron.
hin a nesaodd at yr allor, ac a offrymmodd 26. 16, 19.
arni hi.
13 Ac efe a losgodd ei boeth-offrwm, a'i
fwyd-offrwm, ac a dywalltodd ei ddïod-
offrwm, ac a daenellodd waed ei offrym-
mau hedd ar yr allor.
14 A'r [i] allor bres, yr hon *oedd* ger bron [i] 2 Chron.
yr ARGLWYDD, a dynnodd efe ymaith 4. 1.
o dalcen y tŷ, oddi rhwng yr allor a thŷ'r
ARGLWYDD, ac a'i rhoddes hi o du gog-
ledd yr allor.
15 A'r brenhin Ahaz a orchymynodd
i Urïah yr offeiriad, gan ddywedyd, Llosg
ar yr allor fawr [k] y poeth-offrwm boreol, [k] Exod. 29.
a'r bwyd-offrwm prydnhawnol, poeth- 39, 40, 41.
offrwm y brenhin hefyd, a'i fwyd-offrwm
ef, a phoeth-offrwm holl bobl y wlad, a'u
bwyd-offrwm hwynt, a'u dïodydd-offrwm
hwynt; a holl waed y poeth-offrwm, a
holl waed yr aberth, a daenelli di arni hi:
a bydded yr allor bres i mi i ymofyn.
16 Ac Urïah yr offeiriad a wnaeth yn ol
yr hyn oll a orchymynasai y brenhin Ahaz.
17 ¶ A'r brenhin Ahaz a dorrodd [l] ddal- 739.
iadau yr ystolion, ac a dynnodd ymaith [l] 1 Bren.
y noe oddi arnynt hwy, ac a ddisgyn- 7. 27, 28.
odd [m] y môr oddi ar yr ychen pres [m] 1 Bren.
*oedd* tano, ac a'i rhoddodd ar balmant 7. 23, 25.
cerrig.
18 A gorchudd y Sabboth yr hwn a adeil-
adasent hwy yn tŷ, a dyfodfa'r brenhin
oddi allan, a drodd efe *oddi wrth* dŷ'r AR-
GLWYDD, o achos brenhin Assyria.
19 ¶ A'r rhan arall o hanes Ahaz yr hyn
a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy'n ysgrifen-
edig yn llyfr chronicl brenhinoedd Judah?

726. 20 Ac Ahaz a hunodd gyd â'i dadau, ac [n] a gladdwyd gyd â'i dadau yn ninas Dafydd, a Hezeciah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

[n] 2 Chron. 28. 27.

PEN. XVII.

Mai 17. P. 1 *Drygionus lywodraeth Hosea. 3 Wedi ei ddarostwng gan Salmaneser, y mae yn ymgyd fwriadu â So brenhin yr Aipht yn ei erbyn ef. 5 Caeth-gludo Samaria am eu pechodau. 24 Y cenhedloedd dieithr, a blannwyd yn Samaria, wedi i lewod eu blino, yn gwneuthur cymmysg o amryw grefydd.*

730. YN y ddeuddegfed flwyddyn i Ahaz frenhin Judah, y teyrnasodd Hosea mab Elah yn Samaria ar Israel, naw mlynedd *y teyrnasodd efe.*

2 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg yngolwg yr ARGLWYDD, etto nid fel brenhinoedd Israel y rhai a fuasai o'i flaen ef.

3 ¶ A Salmaneser brenhin Assyria a ddaeth i fynu yn ei erbyn ef, a Hosea a aeth yn was iddo ef, ac a † ddug iddo ‡ anrhegion.

† Heb. *dalodd.*
‡ Neu, *deyrn-ged.*

4 A brenhin Assyria a gafodd fradwriaeth yn Hosea: canys efe a ddanfonasai genhadau at So brenhin yr Aipht, ac ni ddanfonasai anrheg i frenhin Assyria, fel *y byddai efe arferol* bob blwyddyn: am hynny brenhin Assyria a gauodd arno ef, ac a'i rhwymodd ef mewn carchardy.

725.

724. 5 ¶ Yna [a] brenhin Assyria a aeth i fynu trwy'r holl wlad, ac a aeth i fynu i Samaria, ac a warchaeodd arni hi dair blynedd.

[a] Pen. 18. 9.

721. 6 ¶ [b] Yn y nawfed flwyddyn i Hosea, yr ennillodd brenhin Assyria Samaria, ac y caeth-gludodd efe Israel i Assyria, ac a'u cyfleodd hwynt [c] yn Halah ac yn Habor, *wrth* afon Gozan, ac *yn* ninasoedd y Mediaid.

[b] Pen. 18. 10.
[c] 1 Chron. 5. 26.

7 Felly y bu, am i feibion Israel bechu yn erbyn yr ARGLWYDD eu Duw, yr hwn a'u dygasai hwynt i fynu o wlad yr Aipht, oddi tan law Pharaoh brenhin yr Aipht, ac am iddynt ofni duwiau dïeithr,

8 A [d] rhodio yn neddfau'r cenhedloedd, y rhai a fwriasai'r ARGLWYDD allan o flaen meibion Israel, ac *yn y deddfau* a wnaethai brenhinoedd Israel.

[d] Lef. 18. 3.

9 A meibion Israel a wnaethant yn ddirgel bethau nid *oedd* union yn erbyn yr ARGLWYDD eu Duw, ac a adeiladasant iddynt uchelfeydd yn eu holl ddinasoedd, [e] o dŵr y gwylwŷr hyd y ddinas gaerog.

[e] Pen. 18. 8.

10 Gosodasant hefyd iddynt ddelwau a [f] llwyni [g] ar bob bryn uchel, a than bob pren îrlas:

[f] Exod. 34. 13. Deut. 16. 21.

11 Ac a arogl-darthasant yno yn yr holl uchelfeydd, fel y cenhedloedd y rhai a gaeth-gludasai'r ARGLWYDD o'u blaen hwynt; a gwnaethant bethau drygionus i ddigio'r ARGLWYDD.

[g] Deut. 12. 2.

12 A hwy a wasanaethasant eilunod, [h] *am* y rhai y dywedasai'r ARGLWYDD wrthynt, [i] Na wnewch y peth hyn.

[h] Exod. 20. 3, 4. Deut. 5. 7, 8.
[i] Deut. 4. 19.

13 Er i'r ARGLWYDD dystiolaethu yn erbyn Israel, ac yn erbyn Judah, trwy law yr holl brophwydi, *a* phob [k] gweledydd, gan ddywedyd, [l] Dychwelwch o'ch ffyrdd drygionus, a chedwch fy ngorchymynion, *a'm* deddfau, yn ol yr holl gyfraith a orchymynais i'ch tadau, a'r hon a anfonais attoch trwy law fy ngweision y prophwydi.

[k] 1 Sam. 9. 9.
[l] Jer. 18. 11. a 25. 5. a 35. 15.

14 Etto ni wrandawsant, eithr [m] caledasant eu gwarrau fel gwarrau eu tadau, y rhai ni chredasant yn yr ARGLWYDD eu Duw.

[m] Deut. 31. 27.

15 A hwy a ddirmygasant ei ddeddfau ef, a'i gyfammod yr hwn a wnaethai efe â'u tadau hwynt, a'i dystiolaethau ef y rhai a dystiolaethodd efe i'w herbyn; a rhodiasant ar ol [n] oferedd, ac [o] a aethant yn ofer: *aethant* hefyd ar ol y cenhedloedd y rhai *oedd* o'u hamgylch, *am* y rhai y gorchymynasai'r ARGLWYDD iddynt, na wnelent fel hwynt.

[n] Deut. 32. 21. 1 Bren. 16. 13. 1 Cor. 8. 4.
[o] Psal. 115. 8.

16 A hwy a adawsant holl orchymynion yr ARGLWYDD eu Duw, ac [p] a wnaethant iddynt ddelwau tawdd, *nid amgen* dau lo: [q] gwnaethant hefyd lwyn, ac ymgrymmasant i holl lu'r nefoedd, a [r] gwasanaethasant Baal.

[p] Exod. 32. 8. 1 Bren. 12. 28.
[q] 1 Bren. 14. 15, 23. a 15. 13. a 16. 33.
[r] 1 Bren. 16. 31. a 22. 54. Pen. 11. 18.

17 A hwy [s] a dynnasant eu meibion a'u merched trwy'r tân, ac a arferasant ddewiniaeth, a swynion, ac [t] a ymwerthasant i wneuthur yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr ARGLWYDD, i'w ddigio ef.

[s] Lef. 18. 21. Pen. 16. 3.
[t] 1 Bren. 21. 20.

18 Am hynny yr ARGLWYDD a ddigiodd yn ddirfawr wrth Israel, ac a'u bwriodd hwynt allan o'i olwg: ni adawyd [u] ond llwyth Judah yn unig.

[u] 1 Bren. 11. 13, 32.

19 Ni chadwodd Judah chwaith orchymynion yr ARGLWYDD eu Duw, eithr rhodiasant yn neddfau Israel y rhai a wnelsent hwy.

20 A'r ARGLWYDD a ddïystyrodd holl had Israel, ac a'u cystuddiodd hwynt, ac a'u rhoddodd hwynt yn llaw anrheithwŷr, nes iddo eu bwrw allan o'i olwg.

21 Canys [x] efe a rwygodd Israel oddi wrth dŷ Ddafydd; a [y] hwy a wnaethant Jeroboam fab Nebat yn frenhin: a Jeroboam a yrrodd Israel oddi ar ol yr ARGLWYDD, ac a wnaeth iddynt bechu pechod mawr.

[x] 1 Bren. 11. 11, 31.
[y] 1 Bren. 12. 20, 28.

22 Canys meibion Israel a rodiasant yn holl bechodau Jeroboam, y rhai a wnaeth efe, heb gilio oddi wrthynt:

23 Nes i'r ARGLWYDD fwrw Israel allan o'i olwg, fel y llefarasai trwy law ei holl weision y prophwydi: ac Israel a gaeth-gludwyd allan o'i wlad ei hun i Assyria, hyd y dydd hwn.

24 ¶ A [z] brenhin Assyria a ddug *bobl* o [a] Babilon, ac o Cuthah, ac o [b] Afa, o Hamath hefyd, ac o Sepharfaim, ac a'*u* cyfleodd *hwynt* yn ninasoedd Samaria, yn lle meibion Israel. A hwynt a feddiannasant Samaria, ac a drigasant yn ei dinasoedd hi. Cylch 678.

[z] Ezra 4. 2.
[a] Edrych adn. 31.
[b] Pen. 18. 34, *Ivah.*

25 Ac yn nechreu eu trigias hwy yno, nid ofnasant hwy yr ARGLWYDD; am hynny'r ARGLWYDD a anfonodd lewod yn eu plith hwynt, y rhai a laddasant *rai* o honynt.

26 Am hynny y mynegasant i frenhin Assyria, gan ddywedyd, Y cenhedloedd y rhai a fudaist ti, ac a gyfleaist yn ninasoedd Samaria, nid adwaenant ddefod Duw y wlad: am hynny efe a anfonodd lewod yn eu mysg hwynt, ac wele, lladdasant hwynt, am na wyddent ddefod Duw y wlad.

27 Yna brenhin Assyria a orchymynodd, gan ddywedyd, Dygwch yno un o'r offeiriaid a ddygasoch oddi yno, i fyned ac i drigo yno, ac i ddysgu iddynt ddefod Duw y wlad.

28 Felly un o'r offeiriaid a ddygasent hwy o Samaria a ddaeth ac a drigodd yn Bethel, ac a ddysgodd iddynt pa fodd yr ofnent yr ARGLWYDD.

29 Etto pob cenedl oedd yn gwneuthur
eu duwiau eu hun, ac yn *eu* gosod yn nhai 'r
uchelfeydd a wnaethai 'r Samariaid, pob
cenedl yn eu dinasoedd yr oeddynt yn pres-
wylio ynddynt.
[c] Adn. 24. 30 A gwŷr [c] Babilon a wnaethant Suc-
coth-Benoth, a gwŷr Chuth a wnaethant
Nergal, a gwŷr Hamath a wnaethant Asima,
31 A'r Afiaid a wnaethant Nibhaz a
Thartac, a'r Sepharfiaid a losgasant eu
meibion yn tân i Adrammelech ac i Anam-
melech duwiau Sepharfaïm.
32 Felly hwy a ofnasant yr ARGLWYDD,
[d] 1 Bren. 12. 31. ac [d] a wnaethant iddynt rai o'u gwehilion
yn offeiriaid yr uchelfeydd, y rhai a wnaeth-
ant *aberthau* iddynt yn nhai 'r uchelfeydd.
[e] Zeph. 1. 5. 33 [e] Yr ARGLWYDD yr oeddynt hwy yn
ei ofni, a gwasanaethu yr oeddynt eu du-
† Neu, *a'u dygasent.* wiau, yn ol defod y cenhedloedd y rhai † a
ddygasent oddi yno.
34 Hyd y dydd hwn y maent hwy yn
gwneuthur yn ol eu hen arferion: nid ydynt
yn ofni 'r ARGLWYDD, ac nid ydynt yn
gwneuthur yn ol eu deddfau hwynt, nac yn
ol eu harfer, nac yn ol y gyfraith na'r gor-
chymyn a orchymynodd yr ARGLWYDD i
[f] Gen. 32. 28. a 35. 10. 1 Bren. 18. 31. feibion Jacob, [f] yr hwn y gosododd efe ei
enw, Israel.
35 A'r ARGLWYDD a wnaethai gyfam-
mod â hwynt, ac a orchymynasai iddynt,
[g] Barn. 6. 10. gan ddywedyd, [g] Nac ofnwch dduwiau
dïeithr, ac nac ymgrymmwch iddynt, ac
na wasanaethwch hwynt, ac na aberthwch
iddynt:
36 Ond yr ARGLWYDD yr hwn a'ch dug
chwi i fynu o wlad yr Aipht â nerth mawr,
[h] Exod. 6. 6. ac [h] â braich estynedig, ef a ofnwch chwi,
ac iddo ef yr ymgrymmwch, ac iddo yr
aberthwch.
37 Y deddfau hefyd, a'r barnedigaethau,
a'r gyfraith, a'r gorchymyn, a 'sgrifenodd
efe i chwi, a gedwch chwi i'w gwneuthur
byth; ac nac ofnwch dduwiau dïeithr.
38 Ac nac anghofiwch y cyfammod a
ammodais â chwi, ac nac ofnwch dduwiau
dïeithr:
39 Eithr ofnwch yr ARGLWYDD eich
DUW; ac efe a'ch gwared chwi o law eich
holl elynion.
40 Ond ni wrandawsant hwy, eithr yn ol
eu hen arfer y gwnaethant hwy.
41 Felly y cenhedloedd hyn oedd yn ofni 'r
ARGLWYDD, ac yn gwasanaethu eu delwau
cerfiedig; eu plant a'u hwyrion: fel y
gwnaeth eu tadau, y maent hwy yn gwneu-
thur hyd y dydd hwn.

## PEN. XVIII.

Sul 12 ar ol y Drindod, P. Mai 18. B.

*1 Y brenhin duwiol Hezecïah 4 yn dilëu delw-addoliaeth, ac yn llwyddo. 9 Caeth-gludo Samaria am eu pechodau. 13 Senacherib yn dyfod yn erbyn Judah; a theyrn-ged yn ei ddyhuddo ef. 17 Senacherib yn danfon Rabsaceh yr ail waith; ac yntau yn difenwi Hezecïah, a thrwy gabl-ciriau yn annog y bobl i droi at frenhin Assyria.*

Cylch 726. AC yn y drydedd flwyddyn i Hosea fab
Elah brenhin Israel, y teyrnasodd [a] He-
[a] 2 Chron. 28. 27. a 29. 1. zecïah mab Ahaz brenhin Judah.
A elwir, *Ezecias,* Mat. 1. 9. 2 Mab pum mlwydd ar hugain oedd efe
pan aeth yn frenhin, a naw mlynedd ar hu-
gain y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac enw
[b] 2 Chron. 29. 1. *Abiah.* ei fam ef *oedd* [b] Abi, merch Zacharïah.
3 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* union
yngolwg yr ARGLWYDD, yn ol yr hyn oll a
wnaethai Dafydd ei dad ef.

4 ¶ [c] Efe a dynnodd ymaith yr uchel- [c] 2 Chron. 31. 1.
feydd, ac a ddrylliodd y delwau, ac a dor-
rodd y llwyni, ac a falurïodd y [d] sarph bres [d] Num. 21. 9.
a wnelsai Moses; canys hyd y dyddiau hyn-
ny yr oedd meibion Israel yn arogl-darthu
iddi hi: ac efe a'i galwodd hi Nehustan.
5 Yn ARGLWYDD DDUW Israel yr ym-
ddiriedodd efe, ac ar ei ol ef ni bu ei fath
ef ym mhlith holl frenhinoedd Judah, nac *ym
mysg* y rhai a fuasai o'i flaen ef.
6 Canys efe a lynodd wrth yr AR-
GLWYDD, ni thrôdd efe oddi ar ei ol ef, ei-
thr efe a gadwodd ei orchymynion ef, y rhai
a orchymynasai 'r ARGLWYDD wrth Moses.
7 A'r ARGLWYDD fu gyd ag ef; i ba le Cylch 725.
bynnag yr aeth, efe a lwyddodd: ac efe a
wrthryfelodd yn erbyn brenhin Assyria, ac
ni's gwasanaethodd ef.
8 [e] Efe a darawodd y Philistiaid hyd [e] Esay 14. 29.
† Gazah a'i therfynau, [f] o dŵr y gwylwŷr † Heb. *Azzah.*
hyd y ddinas gaerog.
9 ¶ Ac yn y bedwaredd flwyddyn i'r 723.
brenhin Hezecïah (honno *oedd* y seithfed [f] Pen. 17. 9.
flwyddyn i Hosea fab Elah brenhin Israel)
y daeth [g] Salmaneser brenhin Assyria i fynu [g] Pen. 17. 3.
yn erbyn Samaria, ac a warchaeodd arni
hi.
10 Ac ym mhen y tair blynedd yr yn- Cylch 721.
nillwyd hi; yn y chweched flwyddyn i
Hezecïah (honno *oedd* [h] y nawfed flwydd- [h] Pen. 17. 6.
yn i Hosea brenhin Israel) yr ynnillwyd
Samaria.
11 A brenhin Assyria a gaeth-gludodd
Israel i Assyria, ac a'u cyfleodd hwynt [i] yn [i] 1 Chron. 5. 26.
Halah ac yn Habor, *wrth* afon Gozan, ac yn
ninasoedd y Mediaid:
12 Am na wrandawsent ar lais yr AR-
GLWYDD eu DUW, eithr troseddu ei gyf-
ammod ef, *a'r* hyn oll a orchymynasai
Moses gwas yr ARGLWYDD, ac na wran-
dawent *arnynt*, ac na's gwnaent *hwynt*.
13 ¶ Ac [k] yn y bedwaredd flwyddyn ar 713.
ddeg i'r brenhin Hezecïah, y daeth Sena- [k] 2 Chron. 32. 1.
cherib brenhin Assyria i fynu yn erbyn holl Esay 36. 1.
ddinasoedd caerog Judah, ac a'u hynnillodd Eccl. 48. 18.
hwynt.
14 A Hezecïah brenhin Judah a anfonodd
at frenhin Assyria i Lachis, gan ddywedyd,
Pechais, dychwel oddi wrthyf: dygaf yr
hyn a roddych arnaf. A brenhin Assyria a
osododd ar Hezecïah brenhin Judah, dri
chant o dalentau arian, a deg ar hugain o
dalentau aur.
15 A Hezecïah a roddodd *iddo* yr holl
arian a gafwyd yn nhŷ 'r ARGLWYDD, ac
yn nhrysorau tŷ 'r brenhin.
16 Yn yr amser hwnnw y torrodd Heze-
cïah *yr aur oddi ar* ddrysau teml yr AR-
GLWYDD, ac *oddi ar* y colofnau a orchudd-
iasai Hezecïah brenhin Judah, ac a'u rhoddes
hwynt i frenhin Assyria.
17 ¶ A brenhin Assyria a anfonodd Tar- Cylch 710.
tan, a Rabsaris, a Rabsaceh, o Lachis, at
frenhin Hezecïah, â llu ‡ dirfawr yn erbyn ‡ Heb. *trwm.*
Jerusalem. A hwy a aethant i fynu, ac a
ddaethant i Jerusalem. Ac wedi eu dyfod
i fynu, hwy a ddaethant ac a safasant wrth
[l] bistyll y llynn uchaf, yr hwn *sydd* ym [l] Esay 7. 3.
mhrif-ffordd maes y pannwr,
18 Ac wedi iddynt alw ar y brenhin,
daeth allan attynt hwy Elïacim mab Hil-
cïah, yr hwn *oedd* ben-teulu, a Sebnah 'r
ysgrifenydd, a Joab mab Asaph y cofiadur.
19 A Rabsaceh a ddywedodd wrthynt
hwy, Dywedwch yn awr wrth Hezecïah,
Fel hyn y dywedodd y brenhin mawr,

brenhin Assyria, Pa hyder *yw* hwn yr wyt
yn ymddiried ynddo?
† Neu, *Siarad.* 20 † Dywedyd yr ydwyt (ond *nid ydynt*
*ond* geiriau ‡ ofer) § *Y mae gennyf* gyngor a
‡ Heb. *gwefusau.* nerth i ryfel. Ar bwy y mae dy hyder, pan
§ Neu, *ond cyngor a nerth sydd raid i ryfel.* wrthryfelaist i'm herbyn i?
21 Wele yn awr, y mae dy hyder ar y
ᵐ ffon gorsen ddrylliedig hon, ar yr Aipht,
yr hon pwy bynnag a bwyso arni, hi a â i
ᵐ Ezec. 29. 6. gledr ei law ef, ac a dylla trwyddi hi: felly
*y mae* Pharaoh brenhin yr Aipht i bawb a
hyderant arno ef.
22 Ac os dywedwch wrthyf, Yn yr Ar-
glwydd ein Duw yr ydym ni yn ymddi-
ried; onid efe *yw* yr hwn y tynnodd He-
zecïah ymaith ei uchelfeydd, a'i allorau,
ac y dywedodd wrth Judah, ac wrth Jeru-
salem, O flaen yr allor hon yr ymgrym-
mwch chwi yn Jerusalem?
23 Yn awr gan hynny dod wystlon, at-
tolwg, i'm harglwydd brenhin Assyria, a
rhoddaf i ti ddwy fil o feirch, os gelli di
roddi rhai a farchogo arnynt hwy.
24 A pha fodd y troi di ymaith wyneb un
capten o'r gweision lleiaf i'm harglwydd, ac
yr ymddiriedi yn yr Aipht am gerbydau a
gwŷr meirch?
25 Ai heb yr Arglwydd y deuthum i
fynu yn erbyn y lle hwn, i'w ddinystrio
ef? Yr Arglwydd a ddywedodd wrthyf,
Dos i fynu yn erbyn y wlad hon, a dinystria
hi.
26 Yna y dywedodd Elïacim mab Hilcïah,
a Sebnah, a Joah, wrth Rabsaceh, Llefara,
attolwg, wrth dy weision yn Syriaeg (canys
yr ydym ni yn *ei* deall *hi*) ac nac ymddiddan
â ni yn iaith yr Iuddewon, lle y clywo'r
bobl *sydd* ar y mur.
27 Ond Rabsaceh a ddywedodd wrthynt,
Ai at dy feistr di, ac attat tithau, yr an-
fonodd fy meistr fi, i lefaru'r geiriau hyn?
onid at y dynion sydd yn eistedd ar y mur;
fel y bwyttaont eu tom eu hun, ac yr yfont
‖ Heb. *ddwfr eu traed.* ‖ eu trwngc eu hun gyd â chwi, *yr anfon-*
*odd fi?*
28 Felly Rabsaceh a safodd, ac a waedd-
odd â llef uchel yn iaith yr Iuddewon, lle-
farodd hefyd, a dywedodd, Gwrandêwch air
y brenhin mawr, brenhin Assyria.
29 Fel hyn y dywedodd y brenhin, Na
thwylled Hezecïah chwi: canys ni ddichon
efe eich gwaredu chwi o'm llaw i.
30 Ac na phared Hezecïah i chwi ym-
ddiried yn yr Arglwydd, gan ddywedyd,
Yr Arglwydd gan waredu a'n gwared ni,
ac ni roddir y ddinas hon yn llaw brenhin
Assyria.
31 Na wrandêwch ar Hezecïah: canys fel
hyn y dywed brenhin Assyria, Gwnewch
† Heb. *fendith.* † fwynder â mi, a deuwch allan attaf fi, ac
yna bwyttêwch bob un o'i winwydden ei
hun, a phob un o'i ffigys-bren, ac yfed pawb
‡ Neu, *bydew.* ddwfr ei ‡ ffynnon ei hun:
32 Nes im' ddyfod a'ch dwyn chwi i
wlad megis eich gwlad eich hun, gwlad ŷd
a gwin, gwlad bara a gwinllannoedd, gwlad
olew olewŷdd a mel, fel y byddoch fyw, ac
na byddoch feirw: ac na wrandêwch ar
Hezecïah, pan hudo efe chwi, gan ddywed-
yd, Yr Arglwydd a'n gwared ni.
ⁿ Pen. 19. 12. Esay 10. 10. 33 ⁿ A lwyr-waredodd yr un o dduwiau'r
cenhedloedd ei wlad o law brenhin As-
syria?
° Pen. 19. 13. 34 ° Mae duwiau Hamath, ac Arpad?
mae duwiau Sepharfaïm, Hena, ac ᵖ Ifah?
ᵖ Pen. 17. 24, *Afah.* a achubasant hwy Samaria o'm llaw i?

35 Pwy *sydd* ym mhlith holl dduwiau'r
gwledydd a waredasant eu gwlad o'm llaw
i, ᵠ fel y gwaredai'r Arglwydd Jerusalem ᵠ Dan. 3. 15.
o'm llaw i?
36 Eithr y bobl a dawsant, ac nid atteb-
asant air iddo: canys gorchymyn y bren-
hin *oedd* hyn, gan ddywedyd, Nac atteb-
wch ef.
37 Yna y daeth Elïacim mab Hilcïah, yr
hwn *oedd* ben-teulu, a Sebnah 'r ysgrifenydd,
a Joah mab Asaph y cofiadur, at Hezecïah,
ʳ a'u dillad yn rhwygedig, ac a fynegasant ʳ Esay 33. 7.
iddo eiriau Rabsaceh.

## PEN. XIX.

1 *Hezecïah yn galaru, ac yn anfon at Esay i* Sul 11 ar ol y Drindod, B. Mai 18. P.
*weddïo drosto.* 6 *Esay yn ei gysuro ef.*
8 *Senacherib yn myned i ymladd â Thir-*
*hacah, ac yn danfon at Hezecïah lythyr yn*
*llawn cabl-eiriau.* 14 *Gweddi Hezecïah.*
20 *Esay yn prophwydo am falchder a*
*dinystr Senacherib, a daioni Sion.* 35 *Angel*
*yn lladd yr Assyriaid.* 36 *Ei feibion ei hun*
*yn lladd Senacherib yn Ninefeh.*

A ᵃ Phan glybu y brenhin Hezecïah *hynny,* Cylch
efe a rwygodd ei ddillad, ac a ymwisg- 710.
odd â sachlïain, ac a aeth i mewn i dŷ'r ᵃ Esay 37. 1.
Arglwydd.
2 Ac efe a anfonodd Elïacim, yr hwn *oedd*
ben-teulu, a Sebnah 'r ysgrifenydd, a henu-
riaid yr offeiriaid, wedi ymwisgo mewn sach-
lïain, at ᵇ Esay y prophwyd mab Amos. ᵇ Luc 3. 4, *Esaias.*
3 A hwy a ddywedasant wrtho ef, Fel
hyn y dywed Hezecïah, Diwrnod cyfyng-
dra, a cherydd, a † chabledd, *yw*'r dydd † Neu, *chythrudd.*
hwn: canys y plant a ddaethant hyd yr
enedigaeth, ond nid *oes* grym i esgor.
4 Fe allai y gwrendy'r Arglwydd dy
Dduw holl eiriau Rabsaceh, yr hwn a
anfonodd brenhin Assyria ei feistr ef i
gablu'r Duw byw, ac y cerydda efe'r
geiriau a glybu'r Arglwydd dy Dduw:
am hynny dyrcha *dy* weddi dros y gweddill
*sydd* i'w gael.
5 Felly gweision y brenhin Hezecïah a
ddaethant at Esay.
6 ¶ Ac Esay a ddywedodd wrthynt, Fel
hyn y dywedwch wrth eich meistr, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd, Nac ofna'r
geiriau a glywaist, *trwy* y rhai ᶜ y cablodd ᶜ Pen. 18. 17.
gweision brenhin Assyria fi.
7 Wele fi yn rhoddi arno ef wŷnt, ac
efe a glyw swn, ac a ddychwel i'w wlad:
gwnaf hefyd iddo syrthio gan y cleddyf yn
ei wlad ei hun.
8 ¶ Yna y dychwelodd Rabsaceh, ac a
gafodd frenhin Assyria yn ymladd yn er-
byn Libnah: canys efe a glywsai fyned o
hono ef ymaith o Lachis.
9 A ᵈ phan glybu efe am Tirhacah bren- 710.
hin Ethiopia, gan ddywedyd, Wele efe a ᵈ Edrych 1 Sam. 23. 27.
ddaeth allan i ryfela â thi; efe a anfonodd
genhadau drachefn at Hezecïah, gan ddy-
wedyd,
10 Fel hyn y lleferwch wrth Hezecïah
brenhin Judah, gan ddywedyd, Na thwylled
dy Dduw di, yr hwn yr wyt yn ymddiried
ynddo, gan ddywedyd, Ni roddir Jerusalem
yn llaw brenhin Assyria.
11 Wele, ti a glywaist yr hyn a wnaeth
brenhinoedd Assyria i'r holl wledydd, gan
eu difrodi hwynt: ac a waredir di?
12 ᵉ A waredodd duwiau'r cenhedloedd ᵉ Pen. 18. 33.
hwynt, y rhai a ddarfu i'm tadau i eu di-
nystrio; *sef* Gozan, a Haran, a Reseph, a
meibion Eden y rhai *oedd* o fewn Thelasar?

[f] Pen. 18. 13 [f] Mae brenhin Hamath, a brenhin
34. Arpad, a brenhin dinas Sepharfaïm, Hena,
ac Ifah?
14 ¶ A Hezecïah a gymmerodd y lly-
thyrau o law 'r cenhadau, ac a'u darllenodd
hwy: a Hezecïah a aeth i fynu i dŷ 'r AR-
GLWYDD, ac a'u lledodd hwynt ger bron
yr ARGLWYDD.
15 A Hezecïah a weddïodd ger bron yr
ARGLWYDD, ac a ddywedodd, O AR-
[g] 1 Sam. 4. GLWYDD DDUW Israel, [g] yr hwn wyt yn
4. trigo *rhwng* y cerubiaid, tydi sydd DDUW,
Psal. 80. 1. tydi yn unig, i holl deyrnasoedd y ddaear;
ti a wnaethost y nefoedd a'r ddaear.
16 Gogwydda, ARGLWYDD, dy glust, a
gwrando: agor dy lygaid, ARGLWYDD, ac
edrych; a gwrando eiriau Senacherib, yr
hwn a anfonodd i ddifenwi'r DUW byw.
17 Gwir *yw*, O ARGLWYDD, i frenhinoedd
Assyria ddifa 'r holl genhedloedd a'u tir,
18 A rhoddi eu duwiau hwynt yn tân:
canys nid *oeddynt* hwy dduwiau, eithr
gwaith dwylaw dyn, *o* goed a maen: am
hynny y dinystriasant hwynt.
19 Yn awr gan hynny, O ARGLWYDD
ein DUW ni, achub ni, attolwg, o'i law ef,
fel y gwypo holl deyrnasoedd y ddaear
mai tydi *yw* 'r ARGLWYDD DDUW, tydi
yn unig.
20 ¶ Yna Esay mab Amos a anfonodd
at Hezecïah, gan ddywedyd, Fel hyn y dy-
wed ARGLWYDD DDUW Israel, Gwran-
dewais ar yr hyn a weddïaist arnaf fi yn
erbyn Senacherib brenhin Assyria.
21 Dyma 'r gair a lefarodd yr ARGLWYDD
yn ei erbyn ef, Y forwyn merch Sïon a'th
ddirmygodd di, *ac* a'th watwarodd; merch
[h] Job 16. Jerusalem [h] a ysgydwodd ben ar dy ol
4. di.
Psal. 22. 7. 22 Pwy a ddifenwaist ti, ac a geblaist?
ac yn erbyn pwy y dyrchefaist ti *dy* lef,
ac y codaist yn uchel dy lygaid? yn erbyn
[i] Esay 5. 24. [i] Sanct Israel.
Jer. 51. 5. 23 Trwy law dy genhadau y ceblaist ti 'r
ARGLWYDD, ac y dywedaist, A llïaws fy
ngherbydau y dringais i uchelder y my-
nyddoedd, i ystlysau Libanus; a mi a dor-
raf uchelder ei gedrwŷdd ef, *a*'i ddewis
ffynnidwŷdd ef, af hefyd i'w letty eithaf,
*ac* i goedwig ei ddol-dir ef.
24 Myfi a gloddiais, ac a yfais ddyfroedd
dïeithr, ac â gwadnau fy nhraed y dyhys-
† Neu, *caucdig.* byddais holl afonydd y † gwarchaeedig.
25 Oni chlywaist ti ddarparu o honof fi
hyn er ys talm, ac i mi lunio hynny er y
‡ Neu, *a ddygwn, &c.* dyddiau gynt? yn awr ‡ y dygais hynny
i ben, fel y byddit i ddinystrio dinasoedd
caerog *yn* garneddau dinystriol.
26 Am hynny eu trigolion yn gwttog-
law a ddychrynwyd, ac a gywilyddiwyd:
oeddynt *megis* gwellt y maes, fel gwyrdd-
[k] Psal. 129. lysiau, *neu* [k] las-wellt yn ar bennau *tai*, neu
6. ŷd wedi deifio cyn addfedu.
[l] Psal. 139. 27 [l] Dy § eisteddiad hefyd, a'th fynediad
1, &c. allan, a'th ddyfodiad i mewn, a adnabum i,
§ Neu, *drigfa.* a'th gynddeiriowgrwydd i'm herbyn.
28 Am it' ymgynddeiriogi i'm herbyn,
ac i'th ddadwrdd ddyfod i fynu i'm clust-
[m] Ezec. 29. iau i; am hynny [m] y gosodaf fy mâch yn
4. a 38. 4. dy ffroen, a'm ffrwyn yn dy weflau, ac
a'th ddychwelaf di ar hŷd yr un ffordd ag
y daethost.
29 A hyn *fydd* yn argoel i ti, *O Hezecïah*:
Y flwyddyn hon y bwyttâi a dyfo o hono
ei hun, ac yn yr ail flwyddyn yr attwf;
ac yn y drydedd flwyddyn hauwch, a
medwch, plennwch winllannoedd hefyd, a
bwyttêwch eu ffrwyth hwynt.
30 A'r ‖ gweddill o dŷ Judah 'r *hwn* a ‖ Heb.
adewir, a wreiddia eilwaith i wared, ac a *diangol.*
ddwg ffrwyth i fynu.
31 Canys gweddill a â allan o Jerusalem,
a'r rhai dïangol o fynydd Sïon: [n] zel AR- [n] Esay 9. 7
GLWYDD *y lluoedd* a wna hyn.
32 Am hynny fel hyn y dywedodd yr
ARGLWYDD am frenhin Assyria, Ni ddaw
efe i'r ddinas hon, ac ni ergydia saeth yno;
hefyd ni ddaw efe o'i blaen hi â tharian, ac
ni fwrw glawdd i'w herbyn hi.
33 Ar hŷd yr un ffordd ag y daeth, y
dychwel efe, ac ni ddaw i mewn i'r ddinas
hon, medd yr ARGLWYDD.
34 Canys [o] mi a ddiffynnaf y ddinas [o] Pen. 20.
hon, i'w chadw hi er fy mwyn fy hun, ac 6.
[p] er mwyn Dafydd fy ngwas. [p] 1 Bren.
35 ¶ A'r [q] noson honno 'r aeth angel yr 11. 12, 13.
ARGLWYDD, ac a darawodd yngwersyll yr [q] Esay 37. 36.
Assyriaid bump a phedwar ugain a chant Eccl. 48. 21.
o filoedd: a phan gyfodasant yn fore dran- 1 Mac. 7. 41.
noeth, wele hwynt oll yn gelaneddau meir- 2 Mac. 8. 9.
won.
36 Felly Senacherib brenhin Assyria a
ymadawodd, ac a aeth ymaith, ac a ddy- [r] 2 Chron. 32. 21.
chwelodd, ac a drigodd yn Ninefeh. [s] Tob. 1. 21.
37 A bu, fel yr oedd efe yn addoli yn
nhŷ Nisroch ei dduw, i [r] Adrammelech a 709.
Sareser [s] ei feibion [t] ei ladd ef â'r cle- [t] Adn. 7.
ddyf; a hwy a ddïangasant i wlad † Ar- † Heb. *Ararat.*
menia: ac [u] Esarhâdon ei fab a deyrnasodd
yn ei le ef. [u] Ezra 4. 2.

## PEN. XX.

1 *Hezecïah, wedi cael rhybudd o'i farwolaeth,* Mai 19. B.
*trwy weddi yn cael estyn ei oes.* 8 *Yr haul*
*yn myned yn ei ol ddeg o raddau, yn argoel*
*o'r addewid hwnnw.* 12 *Berodach-Baladan*
*yn danfon i ymweled â Hezecïah, o herwydd*
*y rhyfeddod hwnnw; ac felly yn cael gwy-*
*bodaeth am ei drysorau ef.* 14 *Esay yn cael*
*gwybod hynny, ac yn rhag-fynegi 'r caeth-*
*glud i Babilon.* 21 *Manasseh yn frenhin*
*ar ol Hezecïah.*

YN [a] y dyddiau hynny y clefychodd He- 713.
zecïah hyd farw: ac Esay y prophwyd [a] 2 Chron. 32. 24.
mab Amos a ddaeth atto, ac a ddywedodd Esay 38. 1.
wrtho, Fel hyn y dywedodd yr AR-
GLWYDD, † Trefna dy dŷ; canys marw † Heb. *Dod orchymyn am.*
fyddi, ac ni byddi byw.
2 Yna efe a drodd ei wyneb at y pared,
ac a weddïodd at yr ARGLWYDD, gan ddy-
wedyd,
3 Attolwg, ARGLWYDD, cofia yr awr
hon i mi rodio ger dy fron di mewn gwir-
ionedd, ac â chalon berffaith, a gwneu-
thur o honof *yr hyn oedd* dda yn dy olwg
di. A Hezecïah a wylodd ag wylofain
mawr.
4 A chyn myned o Esay allan i'r ‡ cyn- ‡ Neu, *ddinas.*
tedd canol, daeth gair yr ARGLWYDD atto,
gan ddywedyd,
5 Dychwel, a dywed wrth Hezecïah
blaenor fy mhobl i, Fel hyn y dywed AR-
GLWYDD DDUW Dafydd dy dad, Clywais
dy weddi di, gwelais dy ddagrau: wele fi
yn dy iachâu di; y trydydd dydd yr ai di i
fynu i dŷ 'r ARGLWYDD.
6 A mi a 'chwanegaf at dy ddyddiau di
bymtheng mlynedd, ac a'th waredaf di a'r
ddinas hon o law brenhin Assyria: [b] di- [b] Pen. 19.
ffynnaf hefyd y ddinas hon er fy mwyn fy 34.
hun, ac er mwyn Dafydd fy ngwas.
7 A dywedodd Esay, Cymmerwch swp o
ffigys. A hwy a gymmerasant, ac a'i gosod-

asant ar y cornwyd, ac efe a aeth yn
iach.
8 ¶ A Hezecïah a ddywedodd wrth Esay,
c Edrych Barn. 6. 17, 37, 39. Esay 7. 11, 14. — c Pa arwydd *fydd* y iachâ 'r ARGLWYDD fi,
ac yr af fi i fynu i dŷ 'r ARGLWYDD y try-
dydd dydd?
9 Ac Esay a ddywedodd, Hyn *fydd* i ti
yn argoel oddi wrth yr ARGLWYDD, y
gwna 'r ARGLWYDD y gair a lefarodd efe:
A â'r cysgod ddeg o raddau ym mlaen, neu
a ddychwel efe ddeg o raddau yn ol?
10 A Hezecïah a ddywedodd, Hawdd
yw i'r cysgod ogwyddo ddeg o raddau: nid
*felly*, ond dychweled y cysgod yn ei ol ddeg
o raddau.
d Esay 38. 8. Eccl. 48. 23. Edrych Jos. 10. 12, 14. — 11 Ac Esay y prophwyd a lefodd ar yr
ARGLWYDD: ac d efe a drodd y cysgod
ar hŷd y graddau, ar hŷd y rhai y disgyn-
asai efe † yn neial Ahaz, ddeg o raddau yn
† Heb. *yngraddau.* — ei ol.
12 ¶ e Yn yr amser hwnnw 'r anfonodd
e Esay 39. 1. — Berodach-Baladan, mab Baladan brenhin
Babilon, lythyrau ac anrheg at Heze-
712. — cïah: canys efe a glywsai fod Hezecïah yn
glaf.
f 2 Chron. 32. 25, 31. — 13 A f Hezecïah a wrandawodd arnynt,
ac a ddangosodd iddynt holl dŷ ei ‡ dry-
‡ Neu, *tŷsiew-dŷ.* — sor, yr arian, a'r aur, a'r per-aroglau,
a'r olew goreu, a *holl* dŷ ei § arfau, a'r
§ Neu, *dlysau.* Heb. *ddodrefn.* — hyn oll a gafwyd yn ei drysorau ef:
nid oedd dim yn ei dŷ ef, nac yn ei holl
gyfoeth ef, a'r na's dangosodd Hezecïah
iddynt.
14 ¶ Yna Esay y prophwyd a ddaeth at
y brenhin Hezecïah, ac a ddywedodd
wrtho, Beth a ddywedodd y gwŷr hyn? ac
o ba le y daethant attat ti? A dywedodd
Hezecïah, O wlad bell y daethant hwy, *sef*
o Babilon.
15 Yntau a ddywedodd, Beth a welsant
hwy yn dy dŷ di? A dywedodd Hezecïah,
Yr hyn oll *oedd* yn fy nhŷ i a welsant hwy:
nid oes dim yn fy nhrysorau i na's dangosais
iddynt hwy.
16 Ac Esay a ddywedodd wrth Hezecïah,
Gwrando air yr ARGLWYDD.
g Pen. 24. 13. a 25. 13. Jer. 27. 22. a 52. 17. — 17 Wele y dyddiau yn dyfod, pan g ddyg-
er i Babilon yr hyn oll *sydd* yn dy dŷ
di, a'r hyn a gynhilodd dy dadau hyd y
dydd hwn: ni adewir dim, medd yr AR-
GLWYDD.
18 Cymmerant hefyd o'th feibion di, y
rhai a ddaw allan o honot, y rhai a gen-
‖ cyflawnwyd, Dan. 1. 4. — hedli di, ‖ a hwy a fyddant yn ystafellydd-
ion yn llys brenhin Babilon.
19 Yna Hezecïah a ddywedodd wrth
Esay, Da yw gair yr ARGLWYDD, yr
† Neu, *Onid bydd heddwch, &c.* — hwn a lefaraist. Dywedodd hefyd, † Onid
da os bydd heddwch a gwirionedd yn fy
nyddiau i?
Cylch 710. — 20 ¶ A'r rhan arall o hanes Hezecïah, a'i
holl rym ef, ac fel h y gwnaeth efe 'r llyn,
h Neh. 3. 16. — a'r pistyll, ac i y dug efe'r dyfroedd i'r
ddinas, onid *ydynt* hwy 'n ysgrifenedig yn
i 2 Chron. 32. 30. — llyfr chronicl brenhinoedd Judah?
Cylch 698. — 21 A Hezecïah a hunodd gyd â'i dadau:
a Manasseh ei fab a deyrnasodd yn ei
le ef.

## PEN. XXI.

Mai 19. P. — 1 *Teyrnasiad Manasseh;* 3 *a'i ddelw-addoliaeth.* 10 *Ei annuwioldeb ef yn achos o brophwydoliaethau yn erbyn Judah.* 17 *Amon ar ei ol ef;* 19 *a'i annuwioldeb yntau.* 23 *Ei weision yn ei ladd ef, a'r bobl yn eu lladd hwythau; a Josïah yn myned yn frenhin.*

MAB a deuddeng mlwydd *oedd* Manas- — 698.
seh pan ddechreuodd efe deyrnasu, — a 2 Chron.
a phymtheng mlynedd a deugain y teyr- — 33. 1.
nasodd efe yn Jerusalem: ac enw ei fam ef
*oedd* Hephsibah.
2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD, yn ol ffieidd-dra 'r
cenhedloedd a fwriodd yr ARGLWYDD allan
o flaen meibion Israel.
3 Canys efe a adeiladodd drachefn yr
uchelfeydd b a ddinystriasai Hezecïah ei dad — b Pen. 18.
ef; ac a gyfododd allorau i Baal, ac a wnaeth — 4.
lwyn, fel c y gwnelsai Ahab brenhin Israel, — c 1 Bren.
ac a addolodd holl lu 'r nefoedd, ac a'u gwa- — 16. 33.
sanaethodd hwynt.
4 d Adeiladodd hefyd allorau yn nhŷ 'r — d Jer. 32.
ARGLWYDD, *am* yr hwn y dywedasai 'r AR- — 34.
GLWYDD, e Yn Jerusalem y gosodaf fy enw. — e 2 Sam. 7.
5 Ac efe a adeiladodd allorau i holl — 13.
lu 'r nefoedd yn nau gyntedd tŷ 'r AR- — 1 Bren. 8.
GLWYDD. — 29. a 9. 3.
6 Ac f efe a dynnodd ei fab trwy dân, — f Lef. 18.
ac a arferodd g hudoliaeth, a brudiau, ac — 21. a 20. 2.
a fawrhaodd swynyddion, a dewiniaid: — 2 Bren. 16.
efe a wnaeth lawer o ddrwg yngolwg yr — 3.
ARGLWYDD, i'w ddigio *ef.* — g Lef. 19. 26, 31.
7 Ac efe a osododd ddelw gerfiedig y
llwyn a wnelsai efe, yn y tŷ *am* yr hwn
y dywedasai 'r ARGLWYDD wrth Ddafydd,
ac wrth Salomon ei fab, h Yn y tŷ hwn, — h 2 Sam. 7.
ac yn Jerusalem, yr hon a ddewisais i o — 10.
holl lwythau Israel, y gosodaf fi fy enw yn — 1 Bren. 8.
dragywydd: — 29. a 9. 3. Pen. 23. 27. Psal. 132.
8 Ac ni symmudaf mwyach droed Is- — 13.
rael o'r wlad a roddais i'w tadau hwynt:
yn unig os gwyliant ar wneuthur yr hyn
oll a orchymynais iddynt, ac yn ol yr holl
gyfraith a orchymynodd fy ngwas Moses
iddynt.
9 Ond ni wrandawsant hwy: a Manasseh
a'u cyfeiliornodd hwynt i wneuthur yn
waeth nâ'r cenhedloedd a ddifethasai 'r
ARGLWYDD o flaen meibion Israel.
10 ¶ A llefarodd yr ARGLWYDD
trwy law ei weision y prophwydi, gan ddy-
wedyd,
11 i O herwydd i Manasseh brenhin Ju- — i Jer. 15.
dah wneuthur y ffieidd-dra hyn, *a* gwneu- — 4.
thur yn waeth nâ'r hyn oll a wnaethai 'r
Amoriaid *a fu* o'i flaen ef, a pheri i Judah
bechu trwy ei eilunod:
12 Oblegid hynny, fel hyn y dywed
ARGLWYDD DDUW Israel, Wele fi yn
dwyn drwg ar Jerusalem a Judah, k fel y — k 1 Sam. 3.
merwino dwy-glust y sawl a'i clywant. — 11. Jer. 19. 3.
13 A mi a estynaf l linyn mesur Sa- — l Edrych
maria ar Jerusalem, a phwys tŷ Ahab: — Esay 34. 11.
golchaf hefyd Jerusalem fel y gylch *un* — Galar. 2. 8.
gwppan, *yr hwn pan* † olcho, efe a'i trŷ — Amos 7. 7, 8.
ar ei wyneb. — † Neu, *sycho.*
14 A mi a wrthodaf weddill fy etifedd-
iaeth, ac a'u rhoddaf hwynt yn llaw eu gely-
nion, a hwy a fyddant yn anrhaith ac yn
yspail i'w holl elynion:
15 Am iddynt wneuthur yr hyn *oedd*
ddrwg yn fy ngolwg i, a'u bod yn fy nigio
i, er y dydd y daeth eu tadau hwynt allan
o'r Aipht, hyd y dydd hwn.
16 Manasseh hefyd a dywalltodd lawer
iawn o waed gwirion, hyd oni lanwodd efe
Jerusalem o ‡ ben bwy gilydd, heb law ei — ‡ Heb. *ymyl a ymyl.*
bechod *trwy* 'r hwn y gwnaeth efe i Judah
bechu, gan wneuthur yr hyn *oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD.
17 ¶ A'r m rhan arall o hanes Manasseh, — m 2 Chron.
a'r hyn a wnaeth efe, a'i bechod a bechodd — 33. 11, 19.

efe, onid *ydynt* hwy 'n ysgrifenedig yn llyfr
chronicl brenhinoedd Judah?
643. 18 A [n] Manasseh a hunodd gyd â'i dad-
[n] 2 Chron. 33. 20. au, ac a gladdwyd yngârdd ei dŷ ei hun,
*sef* yngârdd Uzza; ac Amon ei fab a deyr-
nasodd yn ei le ef.
19 ¶ Mab dwy flwydd ar hugain *oedd*
Amon pan ddechreuodd efe deyrnasu, a
dwy flynedd y teyrnasodd efe yn Jerusa-
lem: ac enw ei fam ef *oedd* Mesulemeth,
merch Harus o Jotbah.
20 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg yn-
golwg yr ARGLWYDD, fel y gwnelsai Ma-
nasseh ei dad.
21 Ac efe a rodiodd yn yr holl ffyrdd y
rhodiasai ei dad ynddynt, ac a wasanaeth-
odd yr eilunod a wasanaethasai ei dad, ac a
ymgrymmodd iddynt:
22 Ac efe a wrthododd ARGLWYDD
DDUW ei dadau, ac ni rodiodd yn ffordd
yr ARGLWYDD.
641. 23 ¶ A gweision Amon a frad-fwriad-
asant yn ei erbyn ef, ac a laddasant y bren-
hin yn ei dŷ ei hun.
24 A phobl y wlad a laddodd yr holl rai
a frad-fwriadasent yn erbyn y brenhin
Amon: a phobl y wlad a osodasant Josïah
ei fab ef yn frenhin yn ei le ef.
25 A'r rhan arall o hanes Amon, yr hyn
a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifen-
edig yn llyfr chronicl brenhinoedd Judah?
26 A chladdwyd ef yn ei feddrod yng-
[o] Mat. 1. ârdd Uzza: a [o] Josïah ei fab a deyrnasodd
10, *Josias.* yn ei le ef.

PEN. XXII.

Mai 20. B. 1 *Duwioldeb Josïah, 3 a'i ofal am gyweirio'r*
*deml. 8 Hilcïah yn cael llyfr y gyfraith, a*
*Josïah yn gyrru at Huldah i ymgynghori â'r*
*Arglwydd. 15 Huldah yn prophwydo di-*
*nystr Jerusalem, ond yr oedid hynny dros*
*amser Josïah.*

641 MAB [a] wyth mlwydd *oedd* Josïah pan
[a] 2 Chron. aeth efe yn frenhin, ac un mlynedd
34. 1. ar ddeg ar hugain y teyrnasodd efe yn Je-
rusalem: ac enw ei fam ef *oedd* Jedidah,
[b] Jos. 15. merch Adaiah o [b] Boscath.
39. 2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* union
yngolwg yr ARGLWYDD, ac a rodiodd yn
holl ffyrdd Dafydd ei dad, ac ni throdd ar
y llaw ddehau nac ar y llaw aswy.
Cylch 3 ¶ Ac yn y ddeunawfed flwyddyn i fren-
624. hin Josïah, y brenhin a anfonodd Saphan,
fab Asalïah, fab Mesùlam, yr ysgrifenydd, i
dŷ 'r ARGLWYDD, gan ddywedyd,
4 Dos i fynu at Hilcïah 'r arch-offeiriad,
[c] Pen. 12. fel y cyfrifo efe 'r arian [c] a ddygpwyd i dŷ 'r
4. ARGLWYDD, y rhai a gasglodd [d] ceidwaid
[d] Pen. 12. y † drws gan y bobl:
9. 5 A rhoddant hwy yn llaw gweithwŷr y
† Heb. *trothwy.* gwaith, y rhai sy olygwŷr ar dŷ 'r AR-
GLWYDD: a rhoddant hwy i'r rhai sydd
yn gwneuthur y gwaith *sydd* yn nhŷ 'r AR-
GLWYDD, i gyweirio agennau 'r tŷ,
6 I'r seiri coed, ac i'r adeiladwŷr, ac i'r
seiri maen, ac i brynu coed a cherrig nadd,
i atgyweirio'r tŷ.
[e] Pen. 12. 7 Etto [e] ni chyfrifwyd â hwynt am yr
15. arian a roddwyd yn eu llaw hwynt, am eu
bod hwy yn gwneuthur yn ffyddlon.
8 ¶ A Hilcïah 'r arch-offeiriad a ddy-
wedodd wrth Saphan yr ysgrifenydd, Cefais
[f] Edrych [f] lyfr y gyfraith yn nhŷ 'r ARGLWYDD: a
Deut. 31. Hilcïah a roddodd y llyfr at Saphan, ac efe
24, &c. a'i darllenodd ef.
2 Chron. 34. 14. 9 A Saphan yr ysgrifenydd a ddaeth at y
brenhin, ac a adroddodd y peth i'r brenhin,
ac a ddywedodd, Dy weision di a ‡ gasglas- ‡ Heb.
ant yr arian a gafwyd yn tŷ, ac a'i rhodd- *doddasant.*
asant yn llaw gweithwŷr y gwaith, y rhai sy
olygwŷr ar dŷ 'r ARGLWYDD.
10 A Saphan yr ysgrifenydd a fynegodd
i'r brenhin, gan ddywedyd, Hilcïah 'r offei-
riad a roddodd i mi lyfr: a Saphan a'i dar-
llenodd ef ger bron y brenhin.
11 A phan glybu 'r brenhin eiriau llyfr y
gyfraith, efe a rwygodd ei ddillad.
12 A'r brenhin a orchymynodd i Hil-
cïah 'r offeiriad, ac i Ahicam fab Saphan,
ac i [g] Achbor fab [h] Michaiah, ac i Saphan [g] 2 Chron.
yr ysgrifenydd, ac i Asahïah gwas y bren- 34. 20, *Abdon.*
hin, gan ddywedyd, [h] Neu,
13 Ewch, ymofynwch â'r ARGLWYDD *Michah.*
drosof fi, a thros y bobl, a thros holl Judah,
am eiriau'r llyfr hwn a gafwyd: canys
mawr *yw* llid yr ARGLWYDD yr hwn a
ennynodd i'n herbyn ni, o herwydd na
wrandawodd ein tadau ni ar eiriau 'r llyfr
hwn, i wneuthur yn ol yr hyn oll a 'sgri-
fenwyd o'n plegid ni.
14 Felly Hilcïah yr offeiriad, ac Ahicam,
ac Achbor, a Saphan, ac Asahïah a aethant
at Huldah y brophwydes, gwraig Sàlum
mab [i] Ticfah, fab § Harhas, ceidwad y [i] 2 Chron.
gwisgoedd: a hi oedd yn trigo yn Jerusa- 34. 22. *Ticfath.*
lem yn yr ‖ ysgoldy, a hwy a ymddiddan- § Neu,
asant â hi. *Hazrah.*
15 ¶ A hi a ddywedodd wrthynt, Fel hyn ‖ Neu,
y dywedodd ARGLWYDD DDUW Israel, Dy- *ail ran.*
wedwch i'r gwr a'ch anfonodd chwi attaf fi;
16 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
Wele fi yn dwyn drwg ar y lle hwn, ac ar
ei drigolion, *sef* holl eiriau 'r llyfr a ddar-
llenodd brenhin Judah.
17 Am iddynt fy ngwrthod i, ac arogl-
darthu i dduwiau dieithr, i'm digio i â holl
waith eu dwylaw: am hynny 'r ennyn fy
llid yn erbyn y lle hwn, ac ni's diffoddir ef.
18 Ond wrth [k] frenhin Judah, yr hwn [k] 2 Chron.
a'ch anfonodd chwi i ymgynghori â'r AR- 34. 26.
GLWYDD, fel hyn y dywedwch wrtho ef,
Fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW Israel,
*Am* y geiriau a glywaist ti;
19 Oblegid i'th galon feddalhâu, ac i
tithau ymostwng o flaen yr ARGLWYDD,
pan glywaist yr hyn a leferais yn erbyn y
lle hwn, ac yn erbyn ei drigolion, y bydd-
ent yn anghyfannedd ac yn felldith, ac *am*
rwygo o honot dy ddillad, ac wylo ger fy
mron i; minnau hefyd a wrandewais, medd
yr ARGLWYDD.
20 O herwydd hynny, wele, mi a'th gym-
meraf di ymaith at dy dadau, a thi a ddygir
i'th fedd [l] mewn heddwch, fel na welo dy [l] Esay 57.
lygaid yr holl ddrwg yr ydwyf fi yn ei ddwyn 1, 2.
ar y fan hon. A hwy a ddygasant air i'r
brenhin drachefn.

PEN. XXIII.

1 *Josïah yn peri darllain y gyfraith yngŵydd* Sul 13 ar
*yr holl bobl: 3 yn adnewyddu cyfammod* ol y Drin-
*yr Arglwydd: 4 yn difetha'r eilun-addol-* dod, P. Mai 20. P.
*wŷr a'u hoffeiriaid: 15 yn llosgi esgyrn*
*y meirw ar allor Bethel, fel y daroganesid:*
*21 yn cadw Pasg ardderchog: 24 yn di-*
*fetha y consurwŷr, a phob ffieidd-dra. 26*
*Dygn ddigofaint Duw yn erbyn Judah.*
*29 Josïah yn cyffrôi Pharaoh-Nechoh, ac*
*yn cael ei ladd ym Megìdo. 31 Joahaz yn*
*frenhin ar ei ol ef; a Pharaoh-Nechoh yn*
*ei garcharu ef, ac yn gwneuthur Joacim*
*yn frenhin. 36 Annuwiol lywodraeth Joa-*
*cim.*

624. A'R [a] brenhin a anfonodd, a holl henuri-
[a] 2 Chron. 34. 29. aid Judah a Jerusalem a ymgynnull-
asant atto ef.
2 A'r brenhin a aeth i fynu i dŷ 'r AR-
GLWYDD, a holl wŷr Judah, a holl drigol-
ion Jerusalem gyd ag ef, yr offeiriaid hefyd,
a'r prophwydi, a'r holl bobl o fychan hyd
fawr: ac efe a ddarllenodd, lle y clywsant
[b] Pen. 22. 8. hwy, holl eiriau llyfr y cyfammod, [b] *yr hwn*
a gawsid yn nhŷ 'r ARGLWYDD.
[c] Pen. 11. 14. 3 ¶ A'r brenhin [c] a safodd wrth y golofn,
ac a wnaeth gyfammod ger bron yr AR-
GLWYDD, ar fyned ar ol yr ARGLWYDD, ac
ar gadw ei orchymynion ef, a'i dystiolaeth-
au, a'i ddeddfau, â'i holl galon, ac â'i holl
enaid, i gyflawni geiriau'r cyfammod hwn,
y rhai *oedd* ysgrifenedig yn y llyfr hwn.
A'r holl bobl a safodd wrth y cyfammod.
4 A'r brenhin a orchymynodd i Hilcïah
yr arch-offeiriad, ac i'r offeiriaid o'r ail
*radd*, ac i geidwaid y drws, ddwyn allan o
deml yr ARGLWYDD yr holl lestri a wnelsid
[d] Pen. 21. 3, 7. i Baal, ac [d] i'r llwyn, ac i holl lu y nef-
oedd: ac efe a'u llosgodd hwynt o'r tu allan
i Jerusalem, ym meusydd Cidron, ac a ddug
eu lludw hwynt i Bethel.
† Neu, *Chemarim*, 5 Ac efe a ddiswyddodd † yr offeiriaid a
osodasai brenhinoedd Judah i arogl-darthu
Hos. 10. 5. yn yr uchelfeydd, yn ninasoedd Judah, ac
Zeph. 1. 4. yn amgylchoedd Jerusalem: a'r rhai oedd
yn arogl-darthu i Baal, i'r haul, ac i'r
‡ Neu, *deuddeg arwydd.* lleuad, ac i'r ‡ planedau, ac i holl lu y nef-
oedd.
[e] Pen. 21. 7. 6 Efe a ddug allan hefyd [e] y llwyn o dŷ 'r
ARGLWYDD, i'r tu allan i Jerusalem, hyd
afon Cidron, ac a'i llosgodd ef wrth afon
Cidron, ac a'i malodd yn llwch, ac a daflodd
[f] 2 Chron. 34. 4. ei lwch ar [f] feddau meibion y bobl.
7 Ac efe a fwriodd i lawr dai'r sodom-
iaid, y rhai *oedd* wrth dŷ 'r ARGLWYDD,
§ Heb. *tai.* lle yr oedd y gwragedd yn gwau § cortyn-
nau i'r llwyn.
8 Ac efe a ddug yr holl offeiriaid allan o
ddinasoedd Judah, ac a halogodd yr uchel-
feydd yr oedd yr offeiriaid yn arogl-darthu
arnynt, o Geba hyd Beerseba, ac a ddi-
strywiodd uchelfeydd y pyrth, y rhai *oedd*
*wrth* ddrws porth Josua tywysog y ddinas,
y rhai *oedd* ar y llaw aswy i bawb *a ddelai* i
borth y ddinas.
[g] Edrych Ezec. 44. 10—14. 9 Etto [g] offeiriaid yr uchelfeydd ni ddaeth-
ant i fynu at allor yr ARGLWYDD i Jerusa-
lem, ond hwy a fwyttasant fara croyw ym
mysg eu brodyr.
[h] Jer. 7. 31. a 19. 6, 11. 10 Ac efe a halogodd [h] Topheth, yr hon
*syad* yn [i] nyffryn meibion Hinnom, fel
[i] Jos. 15. 8. [k] na thynnai neb ei fab na'i ferch trwy dân
[k] Lef. 18. 21. i Moloch.
Deut. 18. 10. 11 Ac efe a ddifethodd y meirch a rodd-
asai brenhinoedd Judah i'r haul, wrth ddy-
fodfa tŷ 'r ARGLWYDD, wrth ystafell Na-
‖ Heb. *eunuch.* than-melech yr ‖ ystafellydd, yr hwn *oedd*
yn y pentref, ac a losgodd gerbydau'r haul
yn tân.
[l] Edrych Jer. 19. 13. 12 Yr allorau hefyd, y rhai *oedd* [l] ar nen
Zeph. 1. 5. ystafell Ahaz, y rhai a wnelsai brenhinoedd
[m] Pen. 21. 5. Judah, a'r allorau a wnelsai [m] Manasseh yn
nau gyntedd ty 'r ARGLWYDD, a ddistryw-
† Neu, *a redodd oddi yno.* iodd y brenhin, ac † a'u bwriodd *hwynt* i
lawr oddi yno, ac a daflodd eu llwch hwynt
i afon Cidron.
13 Y brenhin hefyd a ddifwynodd yr
‡ Sef, *mynydd yr olew ydd.* uchelfeydd *oedd* ar gyfer Jerusalem, y rhai
*oedd* o'r tu dehau i ‡ fynydd y llygredigaeth,
[n] 1 Bren. 11. 7. y rhai a adeiladasai [n] Salomon brenhin Is-
rael i Astoreth ffieidd-dra'r Sidoniaid, ac
i Chemos ffieidd-dra 'r Moabiaid, ac i Mil-
chom ffieidd-dra meibion Ammon.
14 Ac efe [o] a ddrylliodd y delwau, ac a [o] Exod. 23. 24.
dorrodd y llwyni, ac a lanwodd eu lle Deut. 7. 5, 25.
hwynt ag esgyrn dynion.
15 ¶ Yr allor hefyd, yr hon *oedd* yn
Bethel, *a'r* uchelfa [p] a wnaethai Jerobo- [p] 1 Bren. 12. 28.
am mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel
bechu, ie'r allor honno a'r uchelfa a
ddistrywiodd efe, ac a losgodd yr uchelfa,
*ac* a'i malodd yn llwch, ac a losgodd y
llwyn.
16 A Josïah a edrychodd, ac a ganfu fedd-
au, y rhai *oedd* yno yn y mynydd, ac a
anfonodd, ac a gymmerth yr esgyrn o'r
beddau, ac a'u llosgodd ar yr allor, ac a'i
halogodd hi, yn ol [q] gair yr ARGLWYDD yr [q] 1 Bren. 13. 2.
hwn a gyhoeddasai gwr Duw, yr hwn a
bregethasai'r geiriau hyn.
17 Yna efe a ddywedodd, Pa ditl *yw*
hwn yr ydwyf fi yn ei weled? A gwŷr y
ddinas a ddywedasant wrtho, [r] Bedd gwr [r] 1 Bren. 13. 30.
Duw, yr hwn a ddaeth o Judah, ac a gy-
hoeddodd y pethau hyn a wnaethost ti i
allor Bethel, *ydyw.*
18 Ac efe a ddywedodd, Gadêwch ef yn
llonydd; nac ymyred neb â'i esgyrn ef.
Felly'r achubasant ei esgyrn ef, gyd ag
esgyrn [s] y prophwyd a ddaethai o Sa- [s] 1 Bren. 13. 11.
maria.
19 Josïah hefyd a dynnodd ymaith holl
dai'r uchelfeydd, y rhai *oedd* [t] yn ninasoedd [t] Edrych 2 Chron. 34. 6.
Samaria, y rhai a wnelsai brenhinoedd Is-
rael i ddigio'r *ARGLWYDD*, ac a wnaeth
iddynt yn ol yr holl weithredoedd a wnelsai [u] 1 Bren. 13. 2.
efe yn Bethel.
20 Ac [u] efe a § [x] laddodd holl offeiriaid § Neu, *aberthodd.*
yr uchelfeydd *oedd* yno, ar yr allorau, ac a [x] Exod. 22. 20.
losgodd esgyrn dynion arnynt, ac a ddy-
chwelodd i Jerusalem. Pen. 11. 18.
21 ¶ A'r brenhin a orchymynodd i'r holl [y] 2 Chron. 35. 1.
bobl, gan ddywedyd, [y] Gwnewch Basg i'r 1 Esdr. 1. 1.
ARGLWYDD eich Duw, [z] fel *y mae* yn ys- [z] Exod. 12. 3.
grifenedig yn llyfr y cyfammod hwn.
22 Yn ddïau [a] ni wnaed y fath Basg â Lef. 23. 5.
hwn, er dyddiau'r barnwŷr a farnasant Num. 9. 2.
Israel, nac *yn* holl ddyddiau brenhinoedd Deut. 16. 2.
Israel, na brenhinoedd Judah. [a] 2 Chron. 35. 18.
23 Ac yn y ddeunawfed flwyddyn i fren-
hin Josïah y cynhaliwyd y Pasg hwn i'r Cylch
ARGLWYDD yn Jerusalem. 623.
24 ¶ Y swynyddion hefyd, a'r dewiniaid,
a'r ‖ delwau, a'r eilunod, a'r holl ffieidd- ‖ Neu, *teraphim*,
dra, y rhai a welwyd yngwlâd Judah, ac yn Gen. 31. 19.
Jerusalem, a dynnodd Josïah ymaith: fel y
cyflawnai efe eiriau'r [b] gyfraith, *y rhai oedd* [b] Lef. 19. 31. a 20. 27.
ysgrifenedig yn y llyfr a gafodd Hilcïah 'r Deut. 18. 11.
offeiriad yn nhŷ 'r ARGLWYDD.
25 Ac [c] ni bu o'i flaen frenhin o'i fath ef, [c] Pen. 18. 5.
yr hwn a drodd at yr ARGLWYDD â'i holl
galon, ac â'i holl enaid, ac â'i holl egni, yn
ol cwbl o gyfraith Moses, ac ar ei ol ef ni
chyfododd ei fath ef.
26 ¶ Er hynny ni throdd yr ARGLWYDD
oddi wrth lid ei ddigofaint mawr, *trwy*'r
hwn y llidiodd ei ddigllonedd ef yn erbyn
Judah, [d] o herwydd yr holl ddigter *trwy*'r [d] Jer. 15. 4.
hwn y digiasai Manasseh ef.
27 A dywedodd yr ARGLWYDD, Judah
hefyd a fwriaf ymaith o'm golwg, fel [e] y [e] Pen. 17. 18, 20. a 18. 11. a 21. 13.
bwriais ymaith Israel, ac a wrthodaf y ddinas
hon Jerusalem, yr hon a ddetholais, a'r tŷ [f] 1 Bren. 8. 29. a 9. 3.
*am* yr hwn y dywedais, [f] Fy enw a fydd yno. Pen. 21. 4, 7.
28 A'r rhan arall o hanes Josïah, a'r hyn
oll a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy yn ysgrifen- 610.
edig yn llyfr chronicl brenhinoedd Judah?

g 2 Chron. 35. 20. 29 ¶ [g] Yn ei ddyddiau ef y daeth Pharaoh-
Nechoh brenhin yr Aipht i fynu yn erbyn
brenhin Assyria, hyd afon Euphrates: a'r
brenhin Josïah a aeth i'w gyfarfod ef, a
h 2 Chron. 35. 24. *Pharaoh* [h] a'i lladdodd ef ym [i] Megìdo, pan
ei [k] gwelodd ef.
i Zec. 12. 11. 30 A'i weision a'i dygasant ef mewn
cerbyd yn farw o Megìdo, ac a'i dygasant
k Pen. 14. 8. ef i Jerusalem, ac a'i claddasant ef yn ei
l 2 Chron. 36. 1. feddrod ei hun. A [l] phobl y wlad a gym-
merasant [m] Joahaz fab Josïah, ac a'i hen-
m 1 Chron. 3. 15, *Johanan.* Jer. 22. 11, *Sàlum.* neiniasant ef, ac a'i hurddasant yn frenhin
yn lle ei dad.
31 ¶ Mab tair blwydd ar hugain *oedd*
Joahaz pan aeth efe yn frenhin, a thri
mis y teyrnasodd efe yn Jerusalem; ac enw
n Pen. 24. 18. ei fam ef *oedd* [n] Hamutal, merch Jeremïah
o Libnah.
32 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD, yn ol yr hyn oll a
wnaethai ei dadau ef.
33 A Pharaoh-Nechoh a'i rhwymodd ef
† Neu, *am ei fod yn teyrnasu.* yn Riblah yngwlâd Hamath, † fel na theyrn-
asai efe yn Jerusalem: ac a osododd dreth ar
y wlad *o* gan talent o arian, a thalent o aur.
34 A Pharaoh-Nechoh a osododd Elïacim
fab Josïah yn frenhin yn lle Josïah ei dad,
o Edrych Pen. 24. 17. Dan. 1. 7. ac [o] a drodd ei enw ef [p] Joacim: ac efe a
ddug ymaith Joahaz, ac efe a ddaeth i'r
p Mat. 1. 11. Aipht, ac yno [q] y bu efe farw.
35 A Joacim a roddodd i Pharaoh [r] yr
q Jer. 22. 11, 12. Ezec. 19. 3, 4. arian, a'r aur; ond efe a drethodd y wlad
i roddi 'r arian wrth orchymyn Pharaoh:
efe a gododd yr arian a'r aur ar bobl y
r Adn. 33. wlad, ar bob un yn ol ei dreth, i'w rhoddi
i Pharaoh-Nechoh.
610. 36 ¶ Mab pum mlwydd ar hugain *oedd*
Joacim pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac
un mlynedd ar ddeg y teyrnasodd efe yn
Jerusalem: ac enw ei fam ef *oedd* Zebudah,
merch Pedaiah o Rumah.
37 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD, yn ol yr hyn oll a
wnelsai ei dadau.

## PEN. XXIV.

Mai 21. B. 1 *Joacim wedi ei orchfygu gan Nabuchodonosor, yn gwrthryfela yn ei erbyn ef; ac felly yn dwyn dinystr arno ei hun.* 6 *Joachin yn teyrnasu ar ei ol ef.* 7 *Brenhin Babilon yn gorchfygu brenhin yr Aipht.* 8 *Drwg lywodraeth Joachin.* 10 *Ynnill Jerusalem, a chaethgludo 'r bobl i Babilon.* 17 *Gwneuthur Sedecïah yn frenhin; a'i ddrwg lywodraeth ef yn achos o lwyr-ddinystr Jerusalem.*

607. YN [a] ei ddyddiau ef y daeth Nabucho-
606. donosor brenhin Babilon i fynu, a Joa-
603. cim a fu was iddo ef dair blynedd: yna efe
a 2 Chron. 36. 6. a drodd, ac a wrthryfelodd yn ei erbyn ef.
600. 2 A'r ARGLWYDD a anfonodd yn ei
erbyn ef dorfoedd o'r Caldeaid, a thorf-
oedd o'r Syriaid, a thorfoedd o'r Moab-
iaid, a thorfoedd o feibion Ammon, ac
a'u hanfonodd hwynt yn erbyn Judah i'w
b Pen. 20. 17. a 23. 27. dinystrio hi, [b] yn ol gair yr ARGLWYDD,
yr hwn a lefarasai efe trwy law ei weision
y prophwydi.
3 Yn ddïau trwy orchymyn yr AR-
GLWYDD y bu *hyn* yn erbyn Judah, i'*w*
c Pen. 21. 2. a 23. 26. bwrw allan o'i olwg ef, o achos [c] pechodau
Manasseh, yn ol yr hyn oll a wnaethai efe;
d Pen. 21. 16. 4 A hefyd o herwydd [d] y gwaed gwirion
a ollyngodd efe: (canys efe a lanwodd Je-
rusalem o waed gwirion) a hynny ni fyn-
nai 'r ARGLWYDD ei faddeu.

5 ¶ A'r rhan arall o hanes Joacim, a'r
hyn oll a'r a wnaeth efe, onid *ydynt* hwy
yn ysgrifenedig yn llyfr chronicl brenhin- e Edrych 2 Chron. 36. 5.
oedd Judah?
6 A [e] Joacim a hunodd gyd â'i dadau; a Jer. 22. 18, 19. a 36. 30.
† Joachin ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.
7 Ac [f] ni ddaeth brenhin yr Aipht mwy-
ach o'i wlad: canys [g] brenhin Babilon a 599.
ddygasai 'r hyn oll a oedd eiddo brenhin † Neu. *Jeconïah,* 1 Chron. 3. 16.
yr Aipht, o afon yr Aipht hyd afon Eu-
phrates.
8 ¶ [h] Mab deunaw mlwydd *oedd* Joachin Neu, *Conïah,* Jer. 22. 24, 28.
pan aeth efe yn frenhin; a thri mis y
teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac enw ei
fam ef *oedd* Nehusta, merch Elnathan o f Edrych Jer. 37. 5, 7.
Jerusalem.
9 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg yn- g Jer. 46. 2.
golwg yr ARGLWYDD, yn ol yr hyn oll a
wnaethai ei dad. h 2 Chron. 36. 9.
10 ¶ [i] Yn yr amser hwnnw y daeth
gweision Nabuchodonosor brenhin Babilon i Dan. 1. 1.
i fynu yn erbyn Jerusalem, ‡ a gwarchae- ‡ Heb. *a'r ddinas a ddaeth yngwarchae.*
wyd ar y ddinas.
11 A Nabuchodonosor brenhin Babilon a
ddaeth yn erbyn y ddinas, a'i weision ef a
warchaeasant arni hi. § Neu, *eunuchiaid.*
12 A Joachin brenhin Judah a aeth allan
at frenhin Babilon, efe, a'i fam, a'i weision, k Edrych Pen. 25. 27
a'i dywysogion, a'i § 'stafellyddion: a bren-
hin Babilon [k] a'i daliodd ef [l] yn yr wythfed 599.
flwyddyn o'i deyrnasiad. l Edrych Jer. 52. 28.
13 Ac [m] efe a ddug oddi yno holl dry-
sorau tŷ'r ARGLWYDD, a thrysorau tŷ'r m Pen. 20. 17.
brenhin, ac [n] a dorrodd yr holl lestri aur a Esay 39. 6.
wnelsai Salomon brenhin Israel yn nheml yr n Edrych
ARGLWYDD, [o] fel y llefarasai 'r ARGLWYDD. Dan. 5. 2, 3.
14 Ac [p] efe a ddug ymaith holl Jeru- o Jer. 20. 5.
salem, yr holl dywysogion hefyd, a'r holl p Jer. 24. 1
gedyrn nerthol, [q] *sef* deng mil o gaethion, q Edrych
a [r] phob saer, a gôf: ni adawyd ond [s] pobl Jer. 52. 28.
dlodion y wlad *yno.* r Felly 1 Sam. 13. 19, 22.
15 [t] Efe hefyd a ddug ymaith Joachin
i Babilon, a mam y brenhin, a gwragedd s Pen. 25. 12.
y brenhin, a'i ‖ 'stafellyddion, a chedyrn
y wlad a ddug efe i gaethiwed o Jerusalem t 2 Chron. 36. 10. Est. 2. 6.
i Babilon.
16 A'r [u] holl wŷr nerthol, *sef* saith Jer. 22. 24, &c.
mil; ac o seiri a gofaint, mil, y rhai
oll *oedd* gryfion *a* rhyfelwŷr: hwynt- 599.
hwy a ddug brenhin Babilon yn gaeth i ‖ Neu, *eunuchiaid.*
Babilon.
17 ¶ A [x] brenhin Babilon a osododd u Edrych
Mattanïah [y] brawd ei dad ef yn frenhin Jer. 52. 28.
yn ei le ef, ac [z] a drodd ei enw ef yn Se- x Jer. 37. 1.
decïah. y 1 Chron.
18 [a] Mab un mlwydd ar hugain *oedd* 3. 15.
Sedecïah pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac z Felly
un mlynedd ar ddeg y teyrnasodd efe yn Je- Pen. 23. 34.
rusalem: ac enw ei fam ef *oedd* [b] Hamutal, 1 Chron. 36. 4.
merch Jeremïah o Libnah. a 2 Chron.
19 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg 36. 11.
yngolwg yr ARGLWYDD, yn ol yr hyn oll a Jer. 37. 1.
wnaethai Joachin. a 52. 1.
20 Canys trwy ddigofaint yr ARGLWYDD b Pen. 23. 31.
y bu hyn yn Jerusalem ac yn Judah, nes c Ezec. 17.
iddo eu taflu hwynt allan o'i olwg, [c] fod 13.
i Sedecïah wrthryfela yn erbyn brenhin 593.
Babilon.

## PEN. XXV.

Mai 21. P. 1 *Cylchynu Jerusalem.* 4 *Dal Sedecïah, a lladd ei feibion, a thynnu ei lygaid ef.* 8 *Nabuzaradan yn difrodi 'r ddinas; ac yn dwyn y gweddill, ond ychydig dlodion, i gaethiwed:* 13 *yn anrheithio ac yn dwyn ymaith y trysorau.* 18 *Lladd y boneddigion*

*yn Riblah. 22 Wedi lladd Gedalïah, a oscolasid yn ben arnynt, y mae'r lleill yn ffoi i'r Aipht. 27 Efil-merodach yn dyrchafu Joachin yn ei lys.*

590. AC [a] yn y nawfed flwyddyn o'i deyrnas-
[a] 2 Chron. iad ef, yn y degfed mis, ar y degfed
36. 17. *dydd* o'r mis, y daeth Nabuchodonosor bren-
Jer. 34. 2. hin Babilon, efe a'i holl lu yn erbyn Jerusa-
a 39. 1. a lem, ac a wersyllodd yn ei herbyn hi, a hwy
52. 4. Ezec. 24. a adeiladasant yn ei herbyn hi wrthglawdd
1. o'i hamgylch hi.
588. 2 A bu'r ddinas yngwarchae hyd yr unfed
flwyddyn ar ddeg i'r brenhin Sedecïah.
[b] Jer. 52. 3 Ac ar y nawfed *dydd* o'r [b] *pedwerydd*
6. mis y trymhaodd y newyn yn y ddinas, ac
nid oedd bara i bobl y wlad.
[c] Jer. 39. 4 ¶ A'r [c] ddinas a dorrwyd, a'r holl
2, 3. ryfelwŷr *a ffoisant* liw nos *ar hŷd* ffordd y
porth, rhwng y ddau fur, y rhai *sydd* wrth
ardd y brenhin (a'r Caldeaid *oedd* wrth y
[d] Ezec. 12. ddinas o amgylch) a'r [d] *brenhin* a aeth y
12. ffordd tu a'r rhos.
5 A llu'r Caldeaid a erlidiasant ar ol y
brenhin, ac a'i daliasant ef yn rhosydd
Jericho: a'i holl lu ef a wasgarasid oddi
wrtho.
6 Felly hwy a ddaliasant y brenhin, ac a'i
dygasant ef i fynu at frenhin Babilon i Rib-
† Heb. lah; ac a † roddasant farn yn ei erbyn ef.
*lefarasant* 7 Lladdasant feibion Sedecïah hefyd o
*farn gyd* flaen ei lygaid, ac a ‡ [e] dynnasant lygaid Se-
*ag ef.* ‡ Heb. decïah, ac a'i rhwymasant ef mewn gefyn-
*ddallasant.* nau pres, ac a'i dygasant ef i Babilon.
8 ¶ Ac yn y pummed mis, [f] ar y seithfed
[e] Ezec. 12. *dydd* o'r mis (honno *oedd* [g] y bedwaredd
13. flwyddyn ar bymtheg i frenhin Nabuchodo-
[f] Edrych nosor brenhin Babilon) y daeth Nabuzar-
Jer. 52. 12. adan y distain, gwas brenhin Babilon, i Je-
[g] Edrych Pen. 24. 12. rusalem.
a adn. 27. 9 Ac efe a losgodd dŷ'r ARGLWYDD, a
thŷ'r brenhin, a holl dai Jerusalem, a phob
tŷ mawr a losgodd efe â thân.
10 A holl lu'r Caldeaid, y rhai *oedd gyd*
â'r distain, a dorrasant i lawr furiau Jerusa-
lem oddi amgylch.
11 A Nabuzaradan y distain a ddug ym-
aith y rhan arall o'r bobl a adawsid yn y
ddinas, a'r ffoaduriaid a giliasant at frenhin
Babilon, gyd â gweddill y dyrfa.
[h] Pen. 24. 12 Ac [h] o dlodion y wlad y gadawodd y
14. distain *rai*, yn winllannwŷr, ac yn ardd-
Jer. 40. 7. a 52. 16. wŷr.
[i] Pen. 20. 13 [i] Y [k] colofnau pres hefyd, y rhai *oedd*
17. yn nhŷ'r ARGLWYDD, [l] a'r ystolion,
Jer. 27. 19, [m] a'r môr pres, yr hwn *oedd* yn nhŷ'r
22. ARGLWYDD, a ddrylliodd y Caldeaid,
[k] 1 Bren. a hwy a ddygasant eu pres hwynt i Ba-
7. 15. bilon.
[l] 1 Bren. 7. 14 [n] Y crochanau hefyd, a'r rhawiau, a'r
27. [m] 1 Bren. psaltringau, y llwyau, a'r holl lestri pres,
7. 23. y rhai'r oeddid yn gwasanaethu â hwynt, a
[n] Exod. 27. ddygasant hwy ymaith.
3. 1 Bren. 7. 15 Y pedyll tân hefyd, a'r cawgiau, y
50. rhai *oedd* o aur *yn* aur, a'r rhai *oedd* o arian
*yn* arian, a ddug y distain ymaith.
16 Y ddwy golofn, yr un môr, a'r ystolion
[o] 1 Bren. 7. a wnelsai Salomon i dŷ'r ARGLWYDD;
47. [o] nid oedd bwys ar bres yr holl lestri hyn.

17 [p] Tri chufydd ar bymtheg *oedd* uchder [p] 1 Bren. 7.
y naill golofn, a chnap pres *oedd* arni; ac 15.
uchder y cnap *oedd* dri chufydd: plethwaith Jer. 52. 21.
hefyd, a phomgranadau *oedd* ar y cnap o
amgylch, yn bres i gŷd: ac felly'r *oedd* yr
ail golofn, â phleth-waith.
18 ¶ [q] A'r distain a gymmerth [q] Seraiah yr [q] 1 Chron.
offeiriad pennaf, a [r] Sephanïah yr ail offei- 6. 14.
riad, a'r tri oedd yn cadw y § drws. [r] Jer. 21. 1.
19 Ac o'r ddinas efe a gymmerth ‖ ysta- a 29. 25.
fellydd, yr hwn oedd ar y rhyfelwŷr, a § Heb. *trothwy.*
[s] phumwr o'r rhai oedd yn gweled wyneb
y brenhin, y rhai a gafwyd yn y ddinas, ‖ Neu, *eunuch.*
† ac ysgrifenydd tywysog y llu, yr hwn [s] Jer. 52.
oedd yn byddino pobl y wlad; a thru- 25.
geinwr o bobl y wlad, y rhai a gafwyd yn † Neu,
y ddinas. *a phen*
20 A Nabuzaradan y distain a gymmerth *ysgrifen-ydd y llu.*
y rhai hyn, ac a'u dug at frenhin Babilon,
i Riblah.
21 A brenhin Babilon a'u tarawodd hwynt,
ac a'u lladdodd hwynt, yn Riblah, yngwlâd
Hamath. Felly y caeth-gludwyd Judah o'i
wlad ei hun.
22 ¶ [t] Ac *am* y bobl a adawsid yngwlâd [t] Jer. 40.
Judah, y rhai a adawsai Nabuchodonosor 5, 9.
brenhin Babilon, efe a wnaeth yn swyddog
arnynt hwy, Gedalïah fab Ahicam, fab
Saphan.
23 A phan glybu holl [u] dywysogion y [u] Jer. 40.
lluoedd, hwynt-hwy a'u gwŷr, wneuthur o 7.
frenhin Babilon Gedalïah yn swyddog, hwy
a ddaethant at Gedalïah i Mispah, sef Ismael
mab Nethanïah, a Johanan mab Careah, a
Seraiah mab Tanhumeth y Netophathiad, a
Jaazanïah mab Maachathiad, hwynt a'u
gwŷr.
24 A Gedalïah a dyngodd wrthynt hwy,
ac wrth eu gwŷr, ac a ddywedodd wrthynt,
Nac ofnwch *fod* yn weision i'r Caldeaid:
trigwch yn y tir, a gwasanaethwch frenhin
Babilon, a bydd da i chwi.
25 Ac yn y seithfed mis [x] y daeth Is- 588.
mael mab Nethanïah, fab Elisama ‡ o'r had [x] Jer. 41. 1.
brenhinol, a dengwr gyd ag ef, a hwy a ‡ Heb.
darawsant Gedalïah, fel y bu efe farw: *ta-* *o had y*
*rawsant* hefyd yr Iuddewon a'r Caldeaid *frenhin-iaeth.*
oedd gyd ag ef ym Mispah.
26 A'r holl bobl o fychan hyd fawr, a
thywysogion y lluoedd, a gyfodasant ac [y] a [y] Jer. 43. 4
ddaethant i'r Aipht: canys yr oeddynt yn 7.
ofni'r Caldeaid.
27 ¶ Ac [z] yn y ddwyfed flwyddyn ar 562.
bymtheg ar hugain o gaethiwed Joachin [z] Jer. 52.
brenhin Judah, yn y deuddegfed mis, ar y 31.
seithfed *dydd* ar hugain o'r mis, Efil-mero-
dach brenhin Babilon (yn y flwyddyn yr
aeth efe yn frenhin) [a] a ddyrchafodd ben [a] Edrych
Joachin brenhin Judah o'r carchardy. Gen. 40. 13,
28 Ac efe a ddywedodd § yn deg wrtho, 19, 20.
ac a osododd ei gadair ef goruwch cadeir- § Heb.
iau'r brenhinoedd *oedd* gyd ag ef yn Ba- *bethau daionus.*
bilon.
29 Ac efe a newidiodd ei garchar-wisg ef:
ac efe a fwyttaodd fwyd yn wastadol ger ei
fron ef holl ddyddiau ei einioes.
30 A'i ran ef *oedd* ran feunyddol, a rodd-
id iddo gan y brenhin, dogn dydd yn ei
ddydd, holl ddyddiau ei einioes ef.

# ¶ Y LLYFR cyntaf o'r CHRONICL.

## PEN. I.

1 *Llin Adda hyd Noah.* 5 *Meibion Japheth.* 8 *Meibion Ham.* 17 *Meibion Sem.* 24 *Llin Sem hyd Abraham.* 29 *Meibion Ismael.* 32 *Meibion Ceturah.* 34 *Hiliogaeth Abraham o Esau.* 43 *Brenhinoedd Edom.* 51 *Dugiaid Edom.*

Cyn Crist 4004, &c. ADDA, [a] Seth, Enos,
2 Cenan, Mahalaleel, Jered,
3 Enoch, Mathuselah, Lamech,
4 Noah, Sem, Ham, a Japheth.
[a] Gen. 4. 25, 26. a 5. 3—9. 5 ¶ [b] Meibion Japheth; Gomer, a Ma-
gog, a Madai, a Jafan, a Thubal, a Mesech,
[b] Gen. 10. 2. a Thiras.
6 A meibion Gomer; Aschenaz, a † Ri-
† Neu, *Diphath.* phath, a Thogarmah.
7 A meibion Jafan; Elisah, a Tharsis, Cit-
‡ Neu, *Rodanim.* tim, a ‡ Dodanim.
8 ¶ [c] Meibion Ham; Cus, a Misraïm, Put,
[c] Gen. 10. 6. a Chanaan.
9 A Meibion Cus; Seba, a Hafilah, a
Sabta, a Raamah, a Sabtecha: a Seba, a De-
dan, meibion Raamah.
[d] Gen. 10. 8. 10 [d] A Chus a genhedlodd Nimrod: hwn
a ddechreuodd fod yn gadarn ar y ddaear.
11 A Misraïm a genhedlodd Ludim, ac
Anamim, a Lehabim, a Naphtuhim,
12 Pathrusim hefyd, a Chasluhim (y rhai
y daeth y Philistiaid allan o honynt) a
[e] Deut. 2. 23. [e] Chaphtorim.
13 A [f] Chanaan a genhedlodd Sidon ei
[f] Gen. 10. 15. gyntaf-anedig, a Heth,
14 Y Jebusiad hefyd, a'r Amoriad, a'r
Girgasiad,
15 A'r Hefiad, a'r Arciad, a'r Siniad,
16 A'r Arfadiad, a'r Semariad, a'r Ha-
mathiad.
[g] Gen. 10. 22. a 11. 10. 17 ¶ [g] Meibion Sem; Elam, ac Assur, ac
Arphachsad, a Lud, ac Aram, ac Us, a Hul,
a Gether, a § Mesech.
§ *Mas,* Gen. 10. 23. 18 Ac Arphachsad a genhedlodd Selah, a
Selah a genhedlodd Eber.
19 Ac i Eber y ganwyd dau o feibion:
|| Sef, *Gwahaniad.* enw y naill *ydoedd* || Peleg (o herwydd mai
yn ei ddyddiau ef y rhannwyd y ddaear) ac
enw ei frawd *oedd* Joctan.
[h] Gen. 10. 26. 20 A [h] Joctan a genhedlodd Almodad, a
Seleph, a Hasarmafeth, a Jerah,
21 Hadoram hefyd, ac Usal, a Diclah,
22 Ac Ebal, ac Abimael, a Seba,
23 Ophir hefyd, a Hafilah, a Jobab. Y
rhai hyn oll *oedd* feibion Joctan.
[i] Gen. 11. 10. 24 ¶ [i] Sem, Arphachsad, Selah,
Luc 3. 34, &c. 25 [k] Eber, Peleg, Reu,
26 Serug, Nahor, Terah,
[k] Gen. 11. 15. 27 [l] Abram, hwnnw *yw* Abraham.
28 Meibion Abraham; [m] Isaac, ac [n] Is-
[l] Gen. 17. 5. mael.
29 ¶ Dyma eu cenhedlaethau hwynt:
[m] Gen. 21. 2, 3. [o] cyntaf-anedig Ismael *oedd* Nebaioth, yna
Cedar, ac Adbeel, a Mibsam,
[n] Gen. 16. 11, 15. 30 Misma, a Dumah, Massa, † Hadad, a
Thema,
[o] Gen. 25. 13, &c. 31 Jetur, Naphis, a Chedemah. Dyma
† Neu, *Hadar.* feibion Ismael.
32 ¶ A [p] meibion Ceturah, gordderchwraig
[p] Gen. 25. 1, 2. Abraham: hi a ymddûg Zimran, a Jocsan,
a Medan, a Midian, ac Isbac, a Suah. A
meibion Jocsan; Seba, a Dedan.
33 A meibion Midian; Ephah, ac Epher,
[q] Gen. 21. 2. a Henoch, ac Abida, ac Eldaah: y rhai hyn
oll *oedd* feibion Ceturah.
[r] Gen. 25. 25. 34 Ac [q] Abraham a genhedlodd Isaac.
[r] Meibion Isaac; Esau ac Israel.

35 ¶ [s] Meibion Esau; Eliphaz, Reuel, a [s] Gen. 36. 9, 10.
Jëus, a Jaalam, a Chorah.
36 Meibion Eliphaz; Teman, ac Omar,
‡ Sephi, a Gatam, Cenaz, a Thimna, ac ‡ Neu, *Sepho,*
Amalec. Gen. 36. 11.
37 Meibion Reuel; Nahath, Zerah, Sam-
mah, a Mizzah.
38 A [t] Meibion Seir; Lotan, a Sobal, a [t] Gen. 36. 20.
Sibeon, ac Anah, a Dison, ac Eser, a Di-
san.
39 A meibion Lotan; Hori, a § Homam: a § Neu, *Hemam,*
chwaer Lotan *oedd* Timna. Gen. 36. 22.
40 Meibion Sobal; || Aliän, a Manahath, || Neu, *Alfan,*
ac Ebal, † Sephi, ac Onam. A meibion Si-
beon; Aiah, ac Anah. Gen. 36. 23.
41 Meibion Anah; [u] Dison. A meibion † Neu, *Sepho,*
Dison; ‡ Amram, ac Esban, ac Ithran, a Gen. 36. 23.
Cheran. [u] Gen. 36. 25.
42 Meibion Eser; Bilhan, a Zafan, *a*
§ Jacan. Meibion Dison; Us, ac Aran.
43 ¶ Dyma hefyd y [x] brenhinoedd a Cylch
deyrnasasant yn nhir Edom, cyn teyrnasu o 1676.
frenhin ar feibion Israel; Bela mab Beor: ‡ Neu, *Hemdan,*
ac enw ei ddinas ef *oedd* Dinhabah. Gen. 36. 26
44 A phan fu farw Bela, y teyrnasodd yn § Neu,
ei le ef Jobab mab Zerah o Bosrah. *Acan,*
45 A phan fu farw Jobab, Husam o wlad Gen. 36. 27.
y Temaniaid a deyrnasodd yn ei le ef. [x] Gen. 36. 31.
46 A phan fu farw Husam, yn ei le ef y
teyrnasodd Hadad mab Bedad, yr hwn a
darawodd Midian ym maes Moab: ac enw
ei ddinas ef *ydoedd* Afith.
47 A phan fu farw Hadad, y teyrnasodd
yn ei le ef Samlah o Masrecah.
48 [y] A phan fu farw Samlah, Saul o Re- [y] Gen. 36. 37.
hoboth *wrth* yr afon a deyrnasodd yn ei
le ef.
49 A phan fu farw Saul, y teyrnasodd yn
ei le ef Baalhanan mab Achbor.
50 A bu farw Baalhanan, a theyrnasodd
yn ei le ef || Hadad: ac enw ei ddinas ef || *Hadar,* Gen. 36. 39.
*oedd* † Pai; ac enw ei wraig ef Mehetabel,
merch Matred, merch Mezahab.
51 ¶ A bu farw Hadad. [z] A dugiaid E- Cylch
dom oedd; duc Timna, duc Aliah, duc Je- 1496.
theth, † *Pau,*
52 Duc Aholibamah, duc Elah, duc Pi- Gen. 36. 39.
non, [z] Gen. 36. 40.
53 Duc Cenaz, duc Teman, duc Mib-
sar,
54 Duc Magdïel, duc Iram. Dyma ddug-
iaid Edom.

## PEN. II.

1 *Meibion Israel.* 3 *Hiliogaeth Judah o Tamar.* 13 *Meibion Jesse.* 18 *Hiliogaeth Caleb fab Hesron.* 21 *Hiliogaeth Hesron o ferch Machir.* 25 *Hiliogaeth Jerameel.* 34 *Hiliogaeth Sesan.* 42 *Caingc arall o hiliogaeth Caleb.* 50 *Hiliogaeth Caleb mab Hur.* 1496, &c.

DYMA feibion † Israel; [a] Reuben, Si- † Neu, *Jacob.*
meon, Lefi, a Judah, Issachar, a Za-
bulon, [a] Gen. 29.
2 Dan, Joseph, a Benjamin, Naphtali, 32. a 30. 5.
Gad, ac Aser. a 35. 18, 22.
3 ¶ Meibion [b] Judah; Er ac Onan, a Se- a 46. 8, &c.
lah. Y tri *hyn* a anwyd iddo ef o ferch [b] Gen. 38. 3. a 46. 12.
[c] Sua y Canaanees. Ond [d] Er, cyntaf- Num. 26. 19.
anedig Judah, ydoedd ddrygionus yngolwg [c] Gen. 38. 2.
yr ARGLWYDD, ac efe a'i lladdodd ef. [d] Gen. 38. 7.
4 A [e] Thamar ei waudd ef a ymddûg [e] Gen. 38.
iddo Phares, a Zerah. Holl feibion Judah 29. 30.
*oedd* bump. Mat. 1. 3.



T

5 [f] Meibion Phares; Hesron a Hamul.
6 A meibion Zerah; † Zimri, [g] ac Ethan,
a Heman, a Chalcol, a ‡ Dara; hwynt oll
*oedd* bump.
7 A meibion [h] Carmi; § Achar, yr hwn
a flinodd Israel, ac a wnaeth gamwedd ob-
legid [i] y diofryd-beth.
8 A meibion Ethan; Azarïah.
9 A meibion Hesron, y rhai a anwyd iddo
ef; Jerameel, a || Ram, a † Chelubai.
10 A [k] Ram a genhedlodd Amminadab;
ac Amminadab a genhedlodd Nason, [l] pen-
naeth meibion Judah;
11 A Nason a genhedlodd ‡ Salma; a
Salma a genhedlodd Boaz;
12 A Boaz a genhedlodd Obed; ac Obed
a genhedlodd Jesse;
13 ¶ A Jesse a genhedlodd ei gyntaf-anedig
[m] Elïab, ac Abinadab yn ail, a § Simma yn
drydydd,
14 Nethaneel yn bedwerydd, Rãdai yn
bummed,
15 Osem yn chweched, Dafydd yn seith-
fed:
16 A'u chwïorydd hwynt *oedd* Serfiah, ac
Abigail. [n] A meibion Serfiah; Abisai, a
Joab, ac Asahel; tri.
17 Ac [o] Abigail a ymddûg Amasa. A
thad Amasa *oedd* || Jether yr Ismaeliad.
18 ¶ A Chaleb mab Hesron a ynnillodd
*blant* o Azubah *ei* wraig, ac o Jerioth:
a dyma ei meibion hi; Jeser, Sobab, ac
Ardon.
19 A phan fu farw Azubah, Caleb a gym-
merth iddo [p] Ephrath, a hi a ymddûg iddo
Hur.
20 A [q] Hur a genhedlodd Uri, ac Uri a
genhedlodd Besaleel.
21 ¶ Ac wedi hynny yr aeth Hesron i
mewn at ferch [r] Machir, tad Gilead, ac efe
a'i † priododd hi pan *ydoedd* fab trugain
mlwydd; a hi a ddug iddo Segub.
22 A Segub a genhedlodd Jair: ac yr
oedd iddo ef dair ar hugain o ddinasoedd
yngwlâd Gilead.
23 [s] Ac efe a ynnillodd Gesur, ac Aram, a
threfydd Jair oddi arnynt, a Chenath a'i
phentrefydd, *sef* trugain o ddinasoedd. Y
rhai hyn oll *oedd eiddo* meibion Machir tad
Gilead.
24 Ac ar ol marw Hesron o fewn Caleb-
ephratah, Abïah gwraig Hesron a ymddûg
iddo [t] Asur, tad Tecoa.
25 ¶ A meibion Jerameel cyntaf-anedig
Hesron oedd, Ram yr hynaf, Bunah, ac
Oren, ac Osem, *ac* Ahïah.
26 A gwraig arall ydoedd i Jerameel, a'i
henw Atarah: hon *oedd* fam Onam.
27 A meibion Ram cyntaf-anedig Jera-
meel oedd, Maas, a Jamin, ac Ecer.
28 A meibion Onam oedd, Sammai, a Jada.
A meibion Sammai; Nadab, ac Abisur.
29 Ac enw gwraig Abisur *oedd* Abihail; a
hi a ymddûg iddo Aban, a Molid.
30 A meibion Nadab; Seled, ac Appaim.
A bu farw Seled yn ddiblant.
31 A meibion Appaim; Isi. A meibion
Isi; Sesan. A [u] meibion Sesan; Alai.
32 A meibion Jada brawd Sammai; Je-
ther, a Jonathan. A bu farw Jether yn
ddiblant.
33 A meibion Jonathan; Peleth, a Zaza.
Y rhai hyn *oedd* feibion Jerameel.
34 ¶ Ac nid oedd i Sesan feibion, ond
merched: ac i Sesan *yr oedd* gwas o Aipht-
iad, a'i enw Jarha.

[f] Gen. 46. 12. Ruth 4. 18. † Neu, *Zabdi,* Jos. 7. 1. [g] 1 Bren. 4. 31. ‡ Neu, *Darda.* 1471, &c. [h] Edrych Pen. 4. 1. § Neu, *Acan.* [i] Jos. 6. 19. a 7. 1. || Neu, *Aram,* Mat. 1. 3, 4. † Neu, *Caleb,* adn. 18, 42. [k] Ruth 4. 19. Mat. 1. 4. [l] Num. 1. 7. a 2. 3. ‡ *Salmon,* Ruth 4. 21. Mat. 1. 4. [m] 1 Sam. 16. 6. § Neu, *Samma,* 1 Sam. 16. 9. [n] 2 Sam. 2. 18. [o] 2 Sam. 17. 25. || *Ithra yr Israeliad,* 2 Sam. 17. 25. [p] Adn. 50. [q] Exod. 31. 2. [r] Num. 27. 1. † Heb. *cymmerth.* [s] Num. 32. 41. Deut. 3. 14. Jos. 13. 30. [t] Pen. 4. 5. [u] Edrych adn. 34, 35.

35 A Sesan a roddodd ei ferch yn wraig i
Jarha ei was. A hi a ymddûg iddo Attai.
36 Ac Attai a genhedlodd Nathan, a Na-
than a genhedlodd [x] Zabad,
37 A Zabad a genhedlodd Ephlal, ac
Ephlal a genhedlodd Obed,
38 Ac Obed a genhedlodd Jehu, a Jehu a
genhedlodd Azarïah,
39 Ac Azarïah a genhedlodd Heles, a Heles
a genhedlodd Eleasah,
40 Ac Eleasah a genhedlodd Sisamai, a
Sisamai a genhedlodd Sàlum,
41 A Sàlum a genhedlodd Jecamïah, a
Jecamïah a genhedlodd Elisama.
42 ¶ Hefyd meibion Caleb brawd Jera-
meel *oedd,* Mesa ei gyntaf-anedig, hwn *oedd*
dad Ziph: a meibion Maresah tad Hebron.
43 A meibion Hebron; Corah, a Thap-
puah, a Recem, a Sema.
44 A Sema a genhedlodd Raham, tad Jor-
coam: a Recem a genhedlodd Sammai.
45 A mab Sammai *oedd* Maon: a Maon
*oedd* dad Bethsur.
46 Ac Ephah gordderch-wraig Caleb a
ymddûg Haran, a Mosa, a Gazez: a Haran
a genhedlodd Gazez.
47 A meibion Jadai; Regem, a Jotham,
a Gesan, a Phelet, ac Ephah, a Saaph.
48 Gordderch-wraig Caleb, *sef* Maachah, a
ymddûg Seber, a Thirhanah.
49 Hefyd hi a ymddûg Saaph tad Mad-
mannah, Sefa tad Machbena, a thad Gi-
bea: a merch Caleb *oedd* [y] Achsah.
50 ¶ Y rhai hyn oedd feibion Caleb fab
Hur, cyntaf-anedig [z] Ephratah; Sobal tad
Ciriath-jearim,
51 Salma tad Bethlehem, Hareph tad
Beth-gader.
52 A meibion oedd i Sobal, tad Ciriath-
jearim; ‡ Haroëh, *a* hanner y § Manaheth-
iaid.
53 A theuluoedd Ciriath-jearim *oedd,* yr
Ithriaid, a'r Puhiaid, a'r Sumathiaid, a'r
Misraiaid: o'r rhai hyn y daeth y Sareath-
iaid, a'r Esthauliaid.
54 Meibion Salma; Bethlehem, a'r Ne-
tophathiaid, || Ataroth tŷ Joab, a hanner y
Manahethiaid, y Soriaid.
55 A thylwyth yr ysgrifenyddion, y rhai
a breswylient yn Jabes; y Tirathiaid, y Si-
meathiaid, y Suchathiaid. Dyma'r [a] Cen-
iaid, y rhai a ddaethant o Hemath, tad
tylwyth [b] Rechab.

## PEN. III.

1 *Meibion Dafydd,* 10 *a'i lin ef hyd Sede-
cïah.* 17 *Hiliogaeth Jeconïah.*

Y Rhai hyn hefyd oedd feibion Dafydd,
y rhai a anwyd iddo ef yn Hebron;
y cyntaf-anedig [a] Amnon, o Ahinoam y
[b] Jezreelees: yr ail † Daniel, o Abigail y
Carmelees:
2 Y trydydd, Absalom mab Maachah,
merch Talmai brenhin Gesur: y pedwerydd,
Adonïah mab Haggith:
3 Y pummed, Sephatïah o Abital: y
chwecheid, Ithream o [c] Eglah ei wraig.
4 Chwech a anwyd iddo yn Hebron, ac
[d] yno y teyrnasodd efe saith mlynedd a
chwe mis: a [e] thair blynedd ar ddeg ar hu-
gain y teyrnasodd efe yn Jerusalem.
5 [f] A'r rhai hyn a anwyd iddo yn Jeru-
salem; ‡ Simea, a Sobab, a Nathan, a
[g] Salomon, pedwar, o § Bathsua merch
|| Ammiel:

[x] Pen. 11. 41. [y] Jos. 15. 17. [z] Neu, *Ephrath,* adn. 19. ‡ Neu, *Reaiah,* Pen. 4. 2. § Neu, *Menuchiaid.* neu, *Hatsiham-menucoth.* || Neu, *Atroriaid,* neu, *goron tŷ Joab.* [a] Barn. 1. 16. [b] Jer. 35. 2. 1471, &c. [a] 2 Sam. 3. 2. [b] Jos. 15. 56. † Neu, *Chileab,* 2 Sam. 3. 3. [c] 2 Sam. 3. 5. [d] 2 Sam. 2. 11. [e] 2 Sam. 5. 5. [f] 2 Sam. 5. 14. Pen. 14. 4. ‡ Neu, *Sammua,* 2 Sam. 5. 14. [g] 2 Sam. 12. 24.

§ Neu, *Bathsheba,* 2 Sam. 11. 3. || Neu, *Eliam,* 2 Sam. 11. 3.

6 Ibhar hefyd, ac † Elisama, ac Eliphelet,
7 A Nogah, a Nepheg, a Japhïa,
8 Ac Elisama, ‡ Eliada, ac Eliphelet, naw.
9 *Dyma* holl feibion Dafydd, heb law
meibion y gordderch-wragedd, a [h] Thamar
eu chwaer hwynt.
10 ¶ A mab Salomon *ydoedd* [i] Rehoboam:
§ Abïah ei fab yntau; Asa ei fab yntau;
*a* Jehosaphat ei fab yntau;
11 Joram ei fab yntau; ‖ Ahazïah ei fab
yntau; Joas ei fab yntau;
12 Amasïah ei fab yntau; † Azarïah ei
fab yntau; Jotham ei fab yntau;
13 Ahaz ei fab yntau; Hezecïah ei fab
yntau; Manasseh ei fab yntau;
14 Amon ei fab yntau; Josïah ei fab yntau.
15 A meibion Josïah, y cyntaf-anedig *oedd*
‡ Johanan, yr ail § Joacim, y trydydd ‖ Sedecïah,
y pedwerydd Sàlum.
16 A meibion [k] Joacim; † Jechonïah ei
fab ef, Sedecïah [l] ei fab yntau.
17 ¶ A meibion Jechonïah; Assir, Salathiel
[m] ei fab yntau,
18 Malciram hefyd, a Phedaiah, a Senasar,
Jecamïah, a Hosama, a Nedabïah.
19 A meibion Pedaiah; Zorobabel, a Simei:
a meibion Zorobabel; Mesùlam, a
Hananïah, a Selomith eu chwaer hwynt:
20 A Hasubah, ac Ohel, a Berechïah, a
Hasadïah, Jusab-hesed, pump.
21 A meibion Hananïah; Pelatïah, a Jesaiah:
meibion Rephaiah, meibion Arnan,
meibion Obadiah, meibion Sechanïah.
22 A meibion Sechanïah; Semaiah: a
meibion Semaiah; [n] Hattus, ac Igeal, a
Barïah, a Nearïah, a Saphat, chwech.
23 A meibion Nearïah; Elioënai, a Hezecïah,
ac Azricam, tri.
24 A meibion Elioënai *oedd*, Hodaiah, ac
Eliasib, a Phelaiah, ac Accub, a Johanan,
a Dalaiah, ac Anani, saith.

## PEN. IV.

*1, 11 Hiliogaeth Judah o Caleb mab Hur, 5 Aser mab Hesron. 9 Jabes, a'i weddi. 21 Hiliogaeth Selah, 24 a Simeon, a'i ddinasoedd. 39 Eu gorfodaeth ar Gedor, a'r Amaleciaid, ym mynydd Seir.*

1300, &c.

MEIBION Judah; [a] Phares, Hesron, a
† Charmi, a Hur, a Sobal.
2 A ‡ Reaiah mab Sobal a genhedlodd
Jahath; a Jahath a genhedlodd Ahumai, a
Lahad. Dyma deuluoedd y Sorathiaid.
3 A'r rhai hyn *oedd* o dad Etam; Jezreel,
ac Isma, ac Idbas: ac enw eu chwaer hwynt
*oedd* Haselelponi.
4 A Phenuel tad Gedor, ac Ezer tad
Husah. Dyma feibion [b] Hur cyntaf-anedig
Ephratah, tad Bethlehem.
5 ¶ Ac i [c] Assur tad Tecoa yr oedd dwy
wragedd, Helah, a Naarah.
6 A Naarah a ddug iddo Ahuzam, a
Hepher, a Themeni, ac Hahastari. Dyma
feibion Naarah.
7 A meibion Helah *oedd*, Sereth, a Jesoar,
ac Ethnan.
8 A Chos a genhedlodd Anub, a Sobebah,
a theuluoedd Aharhel fab Harum.
9 ¶ Ac yr oedd § Jabes yn anrhydeddusach
na'i frodyr: a'i fam a alwodd ei enw
ef Jabes, gan ddywedyd, Oblegid i mi *ei*
ddwyn *ef* trwy ofid.
10 A Jabes a alwodd ar DDUW Israel, gan
ddywedyd, ‖ O na lwyr fendithit fi, ac na
ehengit fy nherfynau, a bod dy law gyd â
mi, † a'*m* cadw oddi wrth ddrwg, fel na'm

† Neu, *Elisua*, 2 Sam. 5. 15.
‡ Neu, *Beeliada*, Pen. 14. 7.
[h] 2 Sam. 13. 1.
[i] 1 Bren. 11. 43. a 15. 6.
§ Neu, *Abïam*, 1 Bren. 15. 1.
‖ Neu, *Azarïah*, 2 Chron. 22. 6.
Neu, *Jehoahaz*, 2 Chron. 21. 17.
† Neu, *Uzzïah*, 2 Bren. 15. 30.
‡ Neu, *Joahaz*, 2 Bren. 23. 30.
§ Neu, *Eliacim*, 2 Bren. 23. 34.
‖ Neu, *Mattanïah*, 2 Bren. 24. 17.
[k] Mat. 1. 11.
† Neu, *Joacim*, 2 Bren. 24. 6.
Neu, *Conïah*, Jer. 22. 24.
[l] 2 Bren. 24. 17.
[m] Mat. 1. 12.
[n] Ezra 8. 2.
[a] Gen. 38. 29. a 46. 12.
† Neu, *Charmi*, Pen. 2. 9.
Neu, *Caleb*, Pen. 2. 18.
‡ Neu, *Haroeh*, Pen. 2. 52.
[b] Pen. 2. 50.
[c] Pen. 2. 24.
§ Hynny yw, *alarus*.
‖ Heb. *Os ti a'm bendithi*.
† Heb. *a gwneuthur ymwared i mi*.

gofidier. A pharodd Duw ddyfod *iddo* yr
hyn a ofynasai.
11 ¶ A Chelub brawd Suah a genhedlodd
Mehir, yr hwn *oedd* dad Eston.
12 Ac Eston a genhedlodd Beth-rapha, a
Phaseah, a Thehinnah tad ‡ dinas Nahas.
Dyma ddynion Rechah.
13 A meibion Cenaz; [d] Othniel, a Seraiah:
a meibion Othniel; § Hathath.
14 A Meonothai a genhedlodd Ophrah:
a Seraiah a genhedlodd Joab, tad ‖ [e] glynn
y crefftwŷr, canys crefftwŷr oeddynt hwy.
15 A meibion Caleb fab Jephunneh;
Iru, Elah, a Naam: a meibion Elah *oedd*,
† Cenaz.
16 A meibion Jehaleleel; Ziph, a Ziphah,
Tiria, ac Asareel.
17 A meibion Ezrah *oedd*, Jether, a Mered,
ac Epher, a Jalon: a hi a ddug Miriam, a
Sammai, ac Isbah tad Estemoa.
18 A'i wraig ef ‡ Jehudïah a ymddûg
Jered tad Gedor, a Heber tad Socho, a Jecuthiel
tad Zanoah. A dyma feibion Bithiah
merch Pharaoh, yr hon a gymmerth
Mered.
19 A meibion *ei* wraig § Hodiah, chwaer
Naham, tad Ceilah y Garmiad, ac Estemoa
y Maachathiad.
20 A meibion Simon *oedd*, Amnon, a
Rinnah, Benhanan, a Thilon. A meibion
Isi *oedd*, Zoheth, a Benzoheth.
21 ¶ *A* meibion Selah [f] fab Judah *oedd*,
Er tad Lechah, a Laadah tad Maresah, a
theuluoedd tylwyth gweithyddion lliain
main o dŷ Asbea,
22 A Jocim, a dynion Chozeba, a Joas, a
Saraph, y rhai oedd yn arglwyddiaethu ar
Moab, a Jasubi-lehem. Ac *y mae*'r pethau
hyn yn hen.
23 Y rhai hyn *oedd* grochenyddion yn
cyfanneddu *ym mysg* planwŷdd a chaeau:
gyd â'r brenhin yr arhosasant yno yn ei
waith ef.
24 ¶ Meibion Simeon *oedd*, ‖ Nemuel, a
Jamin, Jarib, Zerah, *a* Saul:
25 Sàlum ei fab yntau, Mibsam ei fab
yntau, Misma ei fab yntau.
26 A meibion Misma; Hamuel ei fab
yntau, Zacchur ei fab yntau, Simei ei fab
yntau.
27 Ac i Simei *yr oedd* un ar bymtheg
o feibion, a chwech o ferched, ond i'w
frodyr ef nid *oedd* nemmawr o feibion: ac
nid amlhasai eu holl deulu hwynt † megis
meibion Judah.
28 A [g] hwy a breswyliasant yn Beerseba,
a Moladah, a Hasar-sual,
29 Yn ‡ Bilhah hefyd, ac yn Esem, ac yn
§ Tolad,
30 Ac yn Bethuel, ac yn Hormah, ac
yn Siclag,
31 Ac yn Beth-marcaboth, ac yn ‖ Hasar-susim,
ac yn Beth-birei, ac yn Saaraim.
Dyma eu dinasoedd hwynt, nes teyrnasu
o Ddafydd.
32 A'u trefydd hwynt *oedd*, † Etam, ac
Ain, Rimmon, a Thochen, ac Asan; pump
o ddinasoedd.
33 A'u holl bentrefydd hwynt hefyd, y
rhai *oedd* o amgylch y dinasoedd hyn hyd
‡ Baal. Dyma eu trigfannau hwynt, § a'u
hachau.
34 A Mesobab, a Jamlech, a Josah mab
Amasïah,
35 A Joël, a Jehu mab Josibiah, fab Seraiah,
fab Asiel,

‡ Neu, *Ir-nahas*.
[d] Jos. 15. 17.
§ Neu, *Hathath, a Meonothai, yr hwn a genhedlodd, &c.*
‖ Neu, *trigonon dyffryn Carasim*.
[e] Neh. 11. 35.
† Neu, *Ucnaz*.
‡ Neu, *Iuddewes*.
§ Neu, *Jehudïah*, a enwyd o'r blaen.
[f] Gen. 38. 5.
‖ Neu, *Jemuel*, Gen. 46. 10. Exod. 6. 15. Num. 26. 12.
† Neu, *hyd feibion*.
[g] Jos. 19. 2.
‡ Neu, *Balah*. Jos. 19. 3.
§ Neu, *Eltolad*, Jos. 19. 4.
‖ Neu, *Hasarsusa*, Jos. 19. 5.
† Neu, *Ether*, Jos. 19. 7.
‡ Neu, *Baalath-beer*, Jos. 19. 8.
§ Neu, *ac fel yr ymrannasant yn genhedl-oedd yn eu mysg hwynt*.

36 Ac Elioënai, a Jaacobah, a Jesohaiah,
ac Asaiah, ac Adiel, a Jesimiel, a Benaiah,
37 A Ziza mab Siphi, fab Alon, fab Je-
daiah, fab Simri, fab Semaiah.
38 Y rhai hyn erbyn *eu* henwau *a aethant*
yn bennaethiaid yn eu teuluoedd, ac a
amlhasant dylwyth eu tadau yn fawr.
Cylch 39 ¶ A hwy a aethant i flaenau Gedor,
715. hyd at du dwyrain y dyffryn, i geisio porfa
i'w praidd.
40 A hwy a gawsant borfa fras, a da, a
gwlad ehang *ei* therfynau, a heddychlon a
thangnefeddus: canys y rhai a breswylia-
† Neu, *Ham.* sent yno o'r blaen *oedd* o † Cam.
41 A'r rhai hyn yn ysgrifenedig erbyn eu
henwau a ddaethant yn nyddiau Hezecïah
brenhin Judah, ac a darawsant eu pebyll a'r
anneddau a gafwyd yno, ac a'u difrodasant
hwy hyd y dydd hwn, a thrigasant yn eu
lle hwynt; am *fod* porfa i'w praidd hwynt
yno.
42 Ac o honynt hwy, *sef* o feibion Si-
meon, yr aeth pum cant o ddynion i fynydd
Seir, a Phelatïah, a Nearïah, a Rephaiah, ac
Uzzïel, meibion Isi, yn ben arnynt.
h Edrych 43 Tarawsant hefyd [h] y gweddill a ddian-
1 Sam. 15. gasai o Amalec, ac a wladychasant yno hyd
8. a 30. 17. y dydd hwn.
2 Sam. 8. 12.

## PEN. V.

1 *Llin Reuben (yr hwn a gollodd ei enedigaeth-fraint) hyd y caeth-gludiad i Babilon.* 9 *Eu trigias, a'u gorfodaeth ar yr Hagariaid.* 11 *Pennaduriaid a thrigleoedd Gad.* 18 *Rhifedi a gorfodaeth Reuben, a Gad, a hanner llwyth Manasseh.* 23 *Trigleoedd a phennaduriaid yr hanner llwyth hwnnw.* 25 *Eu caethiwed o herwydd eu pechod.*

1300, &c. A meibion Reuben, cyntaf-anedig Israel
a Gen. 29. 32. (canys [a] efe *oedd* gyntaf-anedig, ond
am iddo [b] halogi gwely ei dad, rhoddwyd
b Gen. 35. 22. a 49. 4. [c] ei enedigaeth-fraint ef i feibion Joseph,
c Gen. 48. 15, 22. fab Israel; ac ni chyfrifir ei achau ef yn ol
yr enedigaeth-fraint:
d Gen. 49. 8, 10. 2 Canys [d] Judah a ragorodd ar ei frodyr,
Psal. 60. 7. a 108. 8. ac o hono ef *y daeth* [e] blaenor: a'r enedi-
gaeth-fraint a *roddwyd* i Joseph.)
e Mic. 5. 2. Mat. 2. 6. 3 Meibion [f] Reuben cyntaf-anedig Israel
*oedd,* Hanoch, a Phàlu, Hesron, a Charmi.
f Gen. 46. 9. 4 Meibion Joël; Semaiah ei fab ef, Gog
ei fab yntau, Simei ei fab yntau,
Exod. 6. 14. 5 Michah ei fab yntau, Reaiah ei fab
yntau, Baal ei fab yntau,
Num. 26. 5. 6 Beerah ei fab yntau, yr hwn a *gaeth-*
† Neu, *Tiglath-pileser,* 2 Bren. 15. 29. *gludodd* † Tilgath-pilneser brenhin Assyria:
hwn *ydoedd* dywysog i'r Reubeniaid.
7 A'i frodyr ef yn eu teuluoedd, [g] wrth
gymmeryd eu hachau yn eu cenhedlaethau:
g Edrych Adn. 17. y pennaf *oedd* Jeiel, a Zecharïah,
8 A Bela mab Azaz, fab ‡ Sema, fab
‡ Neu, *Semaia,* Adn. 4. Joël, yr hwn a gyfanneddodd yn [h] Aroër,
a hyd at Nebo, a Baal-meon.
h Jos. 13. 15, 16. 9 Ac o du'r dwyrain y preswyliodd efe,
hyd y lle yr elir i'r anialwch, oddi wrth
yr afon Euphrates: canys eu hanifeiliaid
hwynt a amlhasai yngwlâd Gilead.
10 Ac yn nyddiau Saul y gwnaethant
hwy ryfel yn erbyn yr Hagariaid, *y rhai* a
syrthiasant trwy eu dwylaw hwynt; a thrig-
§ Heb. *ar holl wyneb tu dwyrain.* asant yn eu pebyll hwynt, § trwy holl du
dwyrain Gilead.
11 ¶ A [i] meibion Gad a drigasant gyfer-
i Jos. 13. 11, 24. byn a hwynt yngwlâd Basan, hyd at Salchah:
12 Joël y pennaf, a Sapham yr ail, a
Jaanai, a Saphat, yn Basan.
13 A'u brodyr hwynt o dŷ eu tadau *oedd,*
Michael, a Mesùlam, a Seba, a Jorai, a
Jacan, a Zïa, a Heber, saith.
14 Dyma feibion Abihail fab Huri, fab
Jaroah, fab Gilead, Michael, fab Jesisai, fab
Jado, fab Buz;
15 Ahi mab Abdiel, fab Guni, y pennaf
o dŷ eu tadau.
16 A hwy a drigasant yn Gilead yn
Basan, ac yn ei threfydd, ac yn holl ben-
trefydd [k] Saron, wrth eu || terfynau. k Pen. 27. 29.
17 Y rhai hyn oll a gyfrifwyd wrth eu || Heb. *mynediad allan.*
hachau, yn nyddiau [l] Jotham brenhin Judah,
ac yn nyddiau [m] Jeroboam brenhin Israel.
18 ¶ Meibion Reuben, a'r Gadiaid, a l 2 Bren. 15. 5, 32.
hanner llwyth Manasseh, o † wŷr nerthol,
dynion yn dwyn tarian a chleddyf, ac yn m 2 Bren. 14. 16, 28.
tynnu bwa, ac wedi eu dysgu i ryfel, *oedd* † Heb. *feibion.*
bedair mil a deugain a saith cant a thri-
ugain, yn myned allan i ryfel.
19 A hwy a wnaethant ryfel yn erbyn yr
Hagariaid, a [n] Jetur, a Nephis, a Nodab. n Gen. 25. 15.
20 A [o] chynnorthwywyd hwynt yn erbyn Pen. 1. 31.
y rhai hynny, a rhoddwyd yr Hagariaid i'w o Edrych Adn. 22.
dwylaw hwynt, a chwbl a'r *a ydoedd* gyd â
hwynt: canys llefasant ar DDUW yn y rhy-
fel, ac efe a wrandawodd arnynt, o he-
rwydd iddynt obeithio ynddo.
21 A hwy a gaeth-gludasant eu hanifeil-
iaid hwynt; o'u camelod hwynt ddengmil
a deugain, ac *o* ddefaid ddeucant a deg a
deugain o filoedd, ac *o* asynod ddwy fil,
ac *o* ‡ ddynion gan mil. ‡ Heb. *eneidiau dynion;* megis, Num. 31. 35.
22 Canys llawer yn archolledig a fuant
feirw, am *fod* y rhyfel oddi wrth DDUW;
a hwy a drigasant yn eu lle hwynt hyd [p] y
caethiwed.
23 ¶ A meibion hanner llwyth Manasseh p 2 Bren. 15. 29. a 17. 6.
a drigasant yn y tir: o Basan hyd Baal-
hermon, a Senir, a mynydd Hermon, yr
aethant hwy yn aml.
24 Y rhai hyn hefyd *oedd* bennau tŷ eu
tadau, sef Epher, ac Isi, ac Eliel, ac Az-
riel, a Jeremïah, a Hodafiah, a Jadiel, gwŷr
cedyrn o nerth, gwŷr enwog, *a* phennau
tŷ eu tadau.
25 ¶ A hwy a droseddasant yn erbyn
Duw eu tadau, ac [q] a butteiniasant ar ol q 2 Bren. 17. 7.
duwiau pobl y wlad, y rhai a ddinystriasai
Duw o'u blaen hwynt.
26 A Duw Israel a annogodd yspryd Cylch
[r] Pul brenhin Assyria, ac yspryd Tilgath- 771.
pilneser brenhin Assyria, ac a'u *caeth-*glud- r 2 Bren. 15. 19.
odd hwynt (sef y Reubeniaid, a'r Gadiaid,
a hanner llwyth Manasseh) ac a'u dug Cylch
hwynt i [s] Halah, a Habor, a Hara, ac i afon 740.
Gozan, hyd y dydd hwn. s 2 Bren. 17. 6. a 18. 11.

## PEN. VI.

1 *Meibion Lefi.* 4 *Llin yr offeiriaid hyd y caeth-gludiad.* 16 *Teuluoedd Gersom, Cohath, a Merari.* 49 *Swydd Aaron, a'i lin hyd Ahimaas.* 54 *Dinasoedd yr offeiriaid a'r Lefiaid.*

MEIBION Lefi; † [a] Gerson, Cohath, a 1300,
Merari. &c.
2 A meibion Cohath; Amram, [b] Isar, a † Neu, *Gersom,* Adn. 16.
Hebron, ac Uzzïel.
3 A phlant Amram; Aaron, Moses, a a Gen. 46. 11.
Miriam: a meibion Aaron; [c] Nadab, ac
Abihu, Eleazar, ac Ithamar. Exod. 6. 16.
4 ¶ Eleazar a genhedlodd Phinees, Phi- Num. 26. 57.
nees a genhedlodd Abisua,
5 Ac Abisua a genhedlodd Bucci, a Bucci Pen. 23. 6.
a genhedlodd Uzzi, b Edrych Adn. 22.
6 Ac Uzzi a genhedlodd Zerahïah, a Ze-
rahïah a genhedlodd Meraioth. c Lef. 10. 1.

7 Meraioth a genhedlodd Amarïah, ac
Amarïah a genhedlodd Ahitub,
8 Ac [d] Ahitub a genhedlodd Sadoc, a
[e] Sadoc a genhedlodd Ahimaas,
9 Ac Ahimaas a genhedlodd Azarïah, ac
Azarïah a genhedlodd Johanan,
10 A Johanan a genhedlodd Azarïah (hwn
[f] oedd yn offeiriad yn [g] y tŷ a adeiladodd
Salomon yn Jerusalem)
11 Ac [h] Azarïah a genhedlodd Amarïah,
ac Amarïah a genhedlodd Ahitub,
12 Ac Ahitub a genhedlodd Sadoc, a
Sadoc a genhedlodd † Sàlum,
13 A Sàlum a genhedlodd Hilciah, a Hil-
ciah a genhedlodd Azarïah,
14 Ac Azarïah a genhedlodd [i] Seraiah, a
Seraiah a genhedlodd Jehosadac,
15 A Jehosadac a ymadawodd, [k] pan
*gaeth*-gludodd yr ARGLWYDD Judah a Jeru-
salem trwy law Nebuchodonosor.
16 ¶ Meibion Lefi; ‡ [l] Gersom, Cohath,
a Merari.
17 A dyma enwau meibion Gersom;
Libni, a Simei.
18 A meibion Cohath; Amram, ac Isar,
a Hebron, ac Uzzïel.
19 Meibion Merari; Mali, a Musi. A
dyma dylwyth y Lefiaid, yn ol eu tadau.
20 I Gersom; Libni ei fab, Jahath ei fab
yntau, [m] Zimmah ei fab yntau,
21 § Joah ei fab yntau, ‖ Ido ei fab yn-
tau, Zerah ei fab yntau, *a* † Jeaterai ei fab
yntau.
22 Meibion Cohath; ‡ Aminadab ei fab
ef, Corah ei fab yntau, Assir ei fab yntau,
23 Elcanah ei fab yntau, ac Ebïasaph ei
fab yntau, ac Assir ei fab yntau,
24 Tahath ei fab yntau, § Urïel ei fab
yntau, § Uzzïah ei fab yntau, § a Saul ei
fab yntau.
25 A meibion Elcanah; [n] Amasai, ac
Ahimoth.
26 Elcanah: meibion Elcanah; ‖ Sophai
ei fab ef, a [o] Nahath ei fab yntau,
27 [p] Elïab ei fab yntau, Jeroham ei fab
yntau, Elcanah ei fab yntau.
28 A meibion Samuel; y cyntaf-anedig
† Fasni, yna Abïah.
29 Meibion Merari; Mali, Libni ei fab yn-
tau, Simei ei fab yntau, Uzzah ei fab yntau,
30 Simea ei fab yntau, Haggïah ei fab
yntau, Asaiah ei fab yntau.
31 Y rhai hyn a osododd Dafydd yn
gantorion *yn* nhŷ'r ARGLWYDD, ar ol
gorphwys o'r [q] arch.
32 A hwy a fuant weinidogion mewn
cerdd o flaen tabernacl pabell y cyfarfod,
nes adeiladu o Salomon dŷ'r ARGLWYDD
yn Jerusalem: a hwy a safasant wrth eu
defod yn eu gwasanaeth.
33 A dyma y rhai a ‡ weinasant, a'u
meibion hefyd: o feibion y Cohathiaid;
Heman y cantor, mab Joël, fab Semuel,
34 Fab Elcanah, fab Jeroham, fab Elïel,
fab § Toah,
35 Fab ‖ Suph, fab Elcanah, fab Mahath,
fab Amasai,
36 Fab Elcanah, fab † Joël, fab † Azarïah,
fab † Sephanïah,
37 Fab Tahath, fab Assir, fab [r] Ebïasaph,
fab Corah,
38 Fab Isar, fab Cohath, fab Lefi, fab
Israel.
39 A'i frawd Asaph (yr hwn oedd yn
sefyll ar ei law ddehau) *sef* Asaph mab
Berachïah, fab Simea,

[d] 2 Sam. 8. 17.
[e] 2 Sam. 15. 27.
[f] Edrych 2 Chron. 26. 17, 18.
[g] 1 Bren. 6. 2 Chron. 3.
[h] Edrych Ezra 7. 3.
† Neu, *Mesulam*, 1 Cron. 9. 11.
[i] Neh. 11. 11.
[k] 2 Bren. 25. 18.
‡ Neu, *Gersom*, adn. 1.
[l] Exod. 6. 16.
[m] Adn. 42.
§ Neu, *Ethan*, adn. 42.
‖ Neu, *Adaiah*, adn. 41.
† Neu, *Ethni*, adn. 41.
‡ Neu, *Izhar*, adn. 2, 18.
§ Neu, *Zephaniah*, *Azarïah*, *Joël*, adn. 36.
[n] Edrych adn. 35, 36.
‖ Neu, *Suph*, adn. 35. 1 Sam. 1. 1.
[o] Adn. 34, *Toah*.
[p] Adn. 34, *Eliel*.
1280, &c.
† A elwir *Joël*, adn. 33. a 1 Sam. 8. 2.
[q] Pen. 16. 1.
‡ Heb. *safasant*.
§ Adn. 26, *Nahath*.
‖ Adn. 26, *Sophai*.
† Adn. 24, *Saul*, *Uzziah*, *Uriel*.
[r] Exod. 6. 24.

40 Fab Michael, fab Baasïah, fab Malcïah,
41 Fab [s] Ethni, fab Zerah, fab Adaiah,
42 Fab Ethan, fab Zimmah, fab Simei,
43 Fab Jahath, fab Gersom, fab Lefi.
44 A'u brodyr hwynt, meibion Merari,
*oedd* ar y llaw aswy: ‡ Ethan mab § Cisi,
fab Abdi, fab Màluc,
45 Fab Hasabïah, fab Amasïah, fab Hil-
ciah,
46 Fab Amsi, fab Bani, fab Samer,
47 Fab Mali, fab Musi, fab Merari, fab
Lefi.
48 A'u brodyr hwynt y Lefiaid *oedd*
gwedi eu rhoddi ar holl wasanaeth taber-
nacl tŷ DDUW.
49 ¶ Ond Aaron a'i feibion a aberthasant
[u] ar allor y poeth-offrwm, ac [x] ar allor yr
arogl-darth, i *gyflawni* holl wasanaeth y
cyssegr sancteiddiolaf, ac i wneuthur cym-
mod dros Israel, yn ol yr hyn oll a orchy-
mynasai Moses gwas DUW.
50 Dyma hefyd feibion Aaron; Eleazar
ei fab ef, Phinees ei fab yntau, Abisua ei
fab yntau,
51 Bucci ei fab yntau, Uzzi ei fab yntau,
Zerahïah ei fab yntau,
52 Meraioth ei fab yntau, Amarïah ei fab
yntau, Ahitub ei fab yntau,
53 Sadoc ei fab yntau, Ahimaas ei fab
yntau.
54 ¶ [y] A dyma eu trigleoedd hwynt yn
ol eu palasau, yn eu terfynau; *sef* meibion
Aaron, o dylwyth y Cohathiaid: oblegid
eiddynt hwy ydoedd y rhan hon.
55 [z] A rhoddasant iddynt Hebron yngwlàd
Judah, a'i meusydd pentrefol o'i hamgylch.
56 [a] Ond meusydd y ddinas, a'i phen-
trefydd, a roddasant hwy i Caleb fab Je-
phunneh.
57 Ac [b] i feibion Aaron y rhoddasant
hwy ddinasoedd Judah, yn noddfa; He-
bron, a Libnah a'i meusydd pentrefol, a
Jattir ac Estemoa, a'u meusydd pentrefol,
58 A ‖ Hilen a'i meusydd pentrefol, a
Debir a'i meusydd pentrefol,
59 Ac † Asan a'i meusydd pentrefol, a
Bethsemes a'i meusydd pentrefol:
60 Ac o lwyth Benjamin; Geba a'i meus-
ydd pentrefol, ac ‡ Alemeth a'i meusydd
pentrefol, ac Anathoth a'i meusydd pen-
trefol: eu holl ddinasoedd hwynt trwy eu
teuluoedd *oedd* dair dinas *ar* ddeg.
61 Ac [c] i'r rhan arall o feibion Cohath o
deulu y llwyth hwnnw, *y rhoddwyd* o'r
hanner llwyth, *sef* hanner Manasseh, ddeg
dinas, [d] wrth goelbren.
62 *Rhoddasant* hefyd i feibion Gersom
trwy eu teuluoedd, o lwyth Issachar, ac o
lwyth Aser, ac o lwyth Naphtali, ac o
lwyth Manasseh yn Basan, dair *ar* ddeg
o ddinasoedd.
63 I feibion Merari trwy eu teuluoedd, o
lwyth Reuben, ac o lwyth Gad, ac o
lwyth Zabulon, *y rhoddasant* trwy goelbren
[e] ddeuddeg o ddinasoedd.
64 A meibion Israel a roddasant i'r
Lefiaid y dinasoedd *hyn* a'u meusydd pen-
trefol.
65 A hwy a roddasant trwy goelbren, o
lwyth meibion Judah, ac o lwyth meibion
Simeon, ac o lwyth meibion Benjamin, y
dinasoedd hyn, y rhai a alwasant hwy ar
eu henwau *hwynt*.
66 [f] I'r *rhai oedd* o deuluoedd meibion
Cohath, yr ydoedd dinasoedd eu terfyn, o
lwyth Ephraim.

[s] Edrych adn. 21.
‡ A elwir *Jeduthun*, Pen. 9. 16. a 25. 1, 3, 6.
§ Neu, *Cusaiah*, Pen. 15. 17.
1444, &c.
[u] Lef. 1. 9.
[x] Exod. 30. 7.
[y] Jos. 21.
[z] Jos. 21. 11.
[a] Jos. 14. 13. a 21. 12.
[b] Jos. 21. 13.
‖ Neu, *Holon*, Jos. 15. 51. a 21. 15.
† Neu, *Ain*, Jos. 21. 16.
‡ Neu, *Almon*, Jos. 21. 18.
[c] Adn. 66.
[d] Jos. 21. 5.
[e] Jos. 21. 7, 34.
[f] Adn. 61.

g Jos. 21. 21.
67 g A hwy a roddasant iddynt hwy ddi-
nasoedd noddfa, *sef* Sichem a'i meusydd pen-
trefol, ym mynydd Ephraim; Gezer hefyd
a'i meusydd pentrefol.
h Edrych Jos. 21. 22—35. lle y gelwir llawer o'r dinasoedd hyn wrth enwau eraill.
68 h Jocmeam hefyd a'i meusydd pentref-
ol, a Beth-horon a'i meusydd pentrefol,
69 Ac Ajalon a'i meusydd pentrefol, a
Gathrimmon a'i meusydd pentrefol.
70 Ac o hanner llwyth Manasseh; Aner
a'i meusydd pentrefol, a Bileam a'i meus-
ydd pentrefol, i deulu y rhai oedd yng-
weddill o feibion Cohath.
71 I feibion Gersom o deulu hanner llwyth
Manasseh *y rhoddwyd*, Golan yn Basan a'i
meusydd pentrefol, Astaroth hefyd a'i meus-
ydd pentrefol.
72 Ac o lwyth Issachar; Cedes a'i meus-
ydd pentrefol, Daberath a'i meusydd pen-
trefol,
73 Ramoth hefyd a'i meusydd pentrefol,
ac Anem a'i meusydd pentrefol.
74 Ac o lwyth Aser; Masal a'i meusydd
pentrefol, ac Abdon a'i meusydd pentrefol,
75 Hucoc hefyd a'i meusydd pentrefol, a
Rehob a'i meusydd pentrefol.
76 Ac o lwyth Naphtali; Cedes yn Gali-
lee a'i meusydd pentrefol, Hammon hefyd
a'i meusydd pentrefol, a Chiriathaim a'i
meusydd pentrefol.
77 I'r rhan arall o feibion Merari *y rhodd-
wyd* o lwyth Zabulon, Rimmon a'i meusydd
pentrefol, a Thabor a'i meusydd pentrefol.
78 Ac am yr Iorddonen a Jericho, *sef* o du
dwyrain yr Iorddonen, *y rhoddwyd* o lwyth
† Neu, *Bozar*, Jos. 21. 36.
Reuben, † Beser yn yr anialwch a'i meus-
ydd pentrefol, Jasah hefyd a'i meusydd pen-
trefol,
79 Cedemoth hefyd a'i meusydd pentref-
ol, a Mephaath a'i meusydd pentrefol.
80 Ac o lwyth Gad, Ramoth yn Gilead
a'i meusydd pentrefol, Mahanaim hefyd a'i
meusydd pentrefol,
81 Hesbon hefyd a'i meusydd pentrefol, a
Jazer a'i meusydd pentrefol.

## PEN. VII.

1 *Meibion Issachar,* 6 *Benjamin,* 13 *Naphtali,* 14 *Manasseh,* 20, 24 *Ephraim.* 21 *Adfyd Ephraim gan wŷr Gath.* 23 *Geni Beriah.* 28 *Trigleoedd Ephraim.* 30 *Meibion Aser.*

1444, &c.
a Gen. 46. 13. Num. 26. 23.
A Meibion Issachar *oedd*, a Tola, a Phuah,
Jasub, a Simron, pedwar.
2 A meibion Tola, Uzzi, a Rephaiah, a
Jeriel, a Jamai, a Jibsam, a Semuel, pen-
naethiaid ar dŷ eu tadau: o Tola'r *ydoedd*
gwŷr cedyrn *o* nerth yn eu cenhedlaethau;
b 2 Sam. 24. 1, 2. Pen. 27. 1.
b eu rhif yn nyddiau Dafydd *oedd* ddwy fil
ar hugain a chwe chant.
3 A meibion Uzzi; Izrahïah: a meibion
Izrahïah; Michael, ac Obadïah, a Joël,
Isïah, pump: yn bennaethiaid oll.
4 A chyd â hwynt yn eu cenhedlaethau,
*ac* yn ol tŷ eu tadau, *yr ydoedd* byddinoedd
milwŷr i ryfel, un fil ar bymtheg ar hugain:
canys llawer oedd ganddynt o wragedd a
meibion.
5 A'u brodyr cedyrn *o* nerth, o holl deulu-
oedd Issachar, a gyfrifwyd wrth eu hachau,
yn saith mil a phedwar ugain *mil* oll.
c Gen. 46. 21. Num. 26. 38. Pen. 8. 1, &c.
6 ¶ *A meibion* c Benjamin *oedd*, Bela, a
Becher, a Jediael, tri.
7 A meibion Bela; Esbon, ac Uzzi, ac
Uzziel; a Jerimoth, ac Iri; pump o bennau
tŷ *eu* tadau, cedyrn *o* nerth, a gyfrifwyd
wrth eu hachau, yn ddwy fil ar hugain a
phedwar ar ddeg ar hugain.
8 A meibion Becher *oedd*, Zemirah, a Joas,
ac Eliezer, ac Elioënai, ac Omri, a Jerimoth,
ac Abïah, ac Anathoth, ac Alemeth: y rhai
hyn oll *oedd* feibion Becher.
9 A hwy a rifwyd wrth eu hachau, yn
ol eu cenhedlaethau, yn bennau tŷ eu tad-
au, yn gedyrn *o* nerth, yn ugain mil a dau
cant.
10 A meibion Jediael; Bilhan: a meibion
Bilhan; Jëus, a Benjamin, ac Ehud, a Che-
naanah, a Zethan, a Tharsis, ac Ahisahar.
11 Y rhai hyn oll *oedd* feibion Jediael, yn
bennau eu tadau, yn gedyrn o nerth, yn
myned allan mewn llu i ryfel, yn ddwy fil
ar bymtheg a deucant.
12 d Suppim hefyd, a Huppim, meibion d Num. 26. 39.
† Ir; Husim, meibion ‡ Aher. † Neu, *Shuphupham*, a *Hupham.*
13 ¶ Meibion Naphtali; Jasiel, a Guni,
a Jeser, a e Sàlum, meibion Bilhah.
14 ¶ Meibion Manasseh; Asriel, yr hwn a ‡ Neu, *Iri*, adn. 7.
ymddûg *ei wraig*: (*ond* ei gordderch-wraig o
Syria a ymddûg Machir tad Gilead:
15 A Machir a gymmerodd yn wraig ‡ Neu, *Ahiram*, Num. 26. 38.
*chwaer* Huppim a Suppim, ac enw eu
chwaer hwynt *oedd* Maachah) ac enw'r ail
*mab* Salphaad: ac i Salphaad yr oedd e Gen. 46. 24. *Silem.*
merched.
16 A Maachah gwraig Machir a ymddûg
fab, a hi a alwodd ei enw ef Peres, ac enw
ei frawd ef Seres, a'i feibion ef *oedd*, Ulam,
a Racem.
17 A meibion Ulam; f Bedan. Dyma f 1 Sam. 12. 11.
feibion Gilead fab Machir, fab Manasseh.
18 A Hammolecheth ei chwaer ef a ym-
ddûg Isod, ac g Abiezer, a Mahalah. g Num. 26. 30, *Jeezer.*
19 A meibion Semida oedd, Ahïan, a
Sechem, a Lici, ac Aniham.
20 ¶ A h meibion Ephraim; Suthelah, a h Num. 26. 35.
Bered ei fab ef, a Thahath ei fab yntau, ac
Eladah ei fab yntau, a Thahath ei fab yntau,
21 ¶ A Zabad ei fab yntau, a Suthelah ei
fab yntau, ac Ezer, ac Elead: a dynion
Gath, y rhai a anwyd yn y tir, a'u lladd-
odd hwynt, o herwydd dyfod o honynt i
wared i ddwyn eu hanifeiliaid hwynt.
22 Ac Ephraim eu tad a alarodd ddydd-
iau lawer; a'i frodyr a ddaethant i'w gy-
suro ef.
23 ¶ A phan aeth efe at ei wraig, hi a
feichiogodd, ac a esgorodd ar fab; ac efe a
alwodd ei enw ef Berïah, am fod drygfyd yn
ei dŷ ef.
24 (Seerah hefyd *oedd* ei ferch ef, a hi a
adeiladodd Beth-horon yr isaf, a'r uchaf
*hefyd*, ac Uzzen-serah.)
25 A Rephah *oedd* ei fab ef, a Reseph, a
Thelah ei fab yntau, a Thahan ei fab yntau,
26 Laadan ei fab yntau, Ammihud ei fab
yntau, Elisama ei fab yntau,
27 Nun ei fab yntau, Josua ei fab yntau.
28 ¶ A'u meddiant a'u cyfanneddau *oedd*,
Bethel a'i phentrefydd, ac o du'r dwyrain i Jos. 16. 7.
i Naaran, ac o du'r gorllewin Gezer a'i *Naarath.*
§ phentrefydd; a Sichem a'i phentrefydd, § Heb. *merched.*
hyd ‖ Gazah a'i phentrefydd:
29 Ac ar derfynau meibion k Manasseh, ‖ Neu, *Adasa*, 1 Mac. 7. 45.
Bethsean a'i phentrefi, Taanach a'i phen-
trefi, l Megìdo a'i phentrefi, Dor a'i phen-
trefi. Meibion Joseph mab Israel a drigas- k Jos. 17. 7.
ant yn y rhai hyn.
30 ¶ m Meibion Aser; Imnah, ac Isuah, l Jos. 17. 11.
ac Isuai, a Berïah, a Serah eu chwaer hwynt. m Gen. 46. 17. Num. 26. 44.
31 A meibion Berïah; Heber, a Malchiel,
hwn *yw* tad Birzafith.
32 A Heber a genhedlodd Japhlet, a n So- n Adn. 34, *Samer.*
mer, a Hotham, a Sua eu chwaer hwynt.

33 A meibion Japhlet; Pasach, a Bimhal, ac Asuath. Dyma feibion Japhlet.

34 A meibion ° Samer; Ahi, a Rogah, Jehubbah, ac Aram.

° Adn. 32, *Somer.*

35 A mab ei frawd ef Helem; Sophah, ac Imnah, a Seles, ac Amal.

36 Meibion Sophah; Suah, a Harnepher, a Sual, a Beri ac Imrah,

37 Beser, a Hod, a Samma, a Silsah, ac Ithran, a Beera.

38 A meibion Jether; Jephunneh, Pispah hefyd, ac Ara.

39 A meibion Ula; Arah, a Haniel, a Resia.

40 Y rhai hyn oll *oedd* feibion Aser, pennau *eu* cenedl, yn ddewis gwŷr o nerth, yn bennau capteniaid. A'r cyfrif trwy eu hachau o wŷr i ryfel, *oedd* chwe mil ar hugain o wŷr.

## PEN. VIII.

1 *Meibion a phennaduriaid Benjamin.* 33 *Hynafiaid Saul a Jonathan.*

1400, &c.

BENJAMIN hefyd a genhedlodd [a] Bela ei gyntaf-anedig, Asbel yr ail, ac Aharah y trydydd.

[a] Gen. 46. 21. Num. 26. 38. Pen. 7. 6.

2 Nohah y pedwerydd, a Rapha y pummed.

3 A meibion Bela oedd, † Adar, a Gera, ac Abihud,

† Neu, *Ara,* Gen. 46. 21.

4 Ac Abisua, a Naaman, ac Ahoah,

5 A Gera, a ‡ Sephuphan, a Huram.

‡ Neu, *Supham,* Num. 26. 39. Edrych Pen. 7. 12.

6 Dyma hefyd feibion Ehud; dyma hwynt pennau cenedl preswylwŷr Geba, a hwy a'u mudasant hwynt i [b] Manahath:

[b] Pen. 2. 52.

7 Naaman hefyd, ac Ahïah, a Gera, efe a'u symmudodd hwynt, ac a genhedlodd Uzza, ac Ahihud.

8 Cenhedlodd hefyd Saharaim yngwlâd Moab, gwedi eu gollwng hwynt ymaith: Husim a Baara *oedd* ei wragedd.

9 Ac efe a genhedlodd o Hodes ei wraig, Jobab, a Sibia, a Mesa, a Malcham.

10 A Jeus, a Sabïah, a Mirmah, Dyma ei feibion ef, pennau cenedl.

11 Ac o Husim efe a genhedlodd Ahitub, ac Elpaal.

12 A meibion Elpaal *oedd*, Eber, a Misam, a Samed, yr hwn a adeiladodd Ono, a Lod a'i phentrefydd.

13 Berïah hefyd, a [c] Sema *oedd* bennau cenedl preswylwŷr Ajalon; y rhai a ymlidiasant drigolion Gath.

[c] Adn. 21.

14 Ahïo hefyd, Sasac, a Jerimoth,

15 Zebadïah hefyd, ac Arad, ac Ader,

16 Michael hefyd, ac Ispah, a Joha, meibion Berïah;

17 Zebadïah hefyd, a Mesùlam, a Hezeci, a Heber,

18 Ismerai hefyd, a Jezlïah, a Jobab meibion Elpaal;

19 Jacim hefyd, a Zichri, a Zabdi,

20 Elienai hefyd, a Silthai, ac Elïel,

21 Adaiah hefyd, a Beraiah, a Simrath, meibion § Simhi;

§ Neu, *Sema,* Adn. 13.

22 Ispan hefyd, a Heber, ac Elïel,

23 Abdon hefyd, a Zichri, a Hanan,

24 Hananïah hefyd, ac Elam, ac Antothïah,

25 Iphedeiah hefyd, a Phenuel, meibion Sasac;

26 Samserai hefyd, a Seharïah, ac Athalïah,

27 Jaresïah hefyd, ac Elïah, a Zichri, meibion Jeroham.

28 Y rhai hyn *oedd* bennau cenedl, *sef* pennaethiaid ar eu cenhedlaethau. Y rhai hyn a gyfanneddasant yn Jerusalem.

29 Yn Gibeon hefyd y preswyliodd || tad Gibeon, ac enw ei [d] wraig ef *oedd* Maachah.

|| A elwir *Jehiel,* Pen. 9. 35.

30 Ac Abdon ei fab cyntaf-anedig ef, Sur hefyd, a Chis, a Baal, a Nadab,

[d] Pen. 9. 35.

31 Gedor hefyd, ac Ahïo, a † Zacher.

† Neu, *Zechariah,* Pen. 9. 37.

32 Micloth hefyd a genhedlodd ‡ Simeah: y rhai hyn hefyd, ar gyfer eu brodyr, a breswyliasant yn Jerusalem gyd â'u brodyr.

‡ Neu, *Simeam,* Pen. 9. 38.

33 ¶ [e] Ner hefyd a genhedlodd Cis, a Chis a genhedlodd Saul, a Saul a genhedlodd Jonathan, a Malchisua, ac [f] Abinadab, ac § Esbaal.

[e] 1 Sam. 14. 51.

[f] 1 Sam. 14. 49, *Issui.*

34 A mab Jonathan *oedd* || Meribbaal; a Meribbaal a genhedlodd [g] Michah.

§ Neu, *Isboseth,* 2 Sam. 2. 8.

35 A meibion Michah; Pithon, a Melech, a † Tharea, ac Ahaz.

36 Ac Ahaz a genhedlodd [h] Jehoadah, a Jehoadah a genhedlodd Alemeth, ac Azmafeth, a Zimri: a Zimri a genhedlodd Mosa,

|| Neu, *Mephiboseth,* 2 Sam. 4. 4. a 9. 6, 10.

[g] 2 Sam. 9. 12.

37 A Mosa a genhedlodd Bineah: [i] Rapha *oedd* ei fab ef, Eleasah ei fab yntau, Asel ei fab yntau.

† *Tharea,* Pen. 9. 41.

38 Ac i Asel *y bu* chwech o feibion, a dyma eu henwau hwynt, Azricam, Bocheru, ac Ismael, a Searïah, ac Obadïah, a Hanan. Y rhai hyn oll *oedd* feibion Asel.

[h] Pen. 9. 42, *Jarah.*

39 A meibion Esec ei frawd ef *oedd*, Ulam ei gyntaf-anedig ef, Jehus yr ail, ac Eliphelet y trydydd.

[i] Pen. 9. 43, *Rephaiah.*

40 A meibion Ulam oedd ddynion cedyrn o nerth yn saethyddion, ac yn aml eu meibion a'u hwyrion, *sef* cant a deg a deugain. Y rhai hyn oll *oedd* o feibion Benjamin.

## PEN. IX.

1 *Achau Israel a Judah.* 2 *Yr Israeliaid,* 10 *yr offeiriaid,* 14 *a'r Lefiaid, a'r Nethiniaid, oedd yn trigo yn Jerusalem.* 27 *Swydd rhai o'r Lefiaid.* 35 *Hynaif Saul a Jonathan.*

AHoll Israel a rifwyd wrth eu hachau, ac wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr brenhinoedd Israel a Judah; a hwy a *gaethgludwyd* i Babylon am eu camwedd.

1200, &c.

2 ¶ Y trigolion cyntaf hefyd *y rhai oedd* yn eu hetifeddiaeth yn eu dinasoedd *oedd*, yr Israeliaid, yr offeiriaid, y Lefiaid, a'r [a] Nethiniaid.

[a] Ezra 2. 43. a 8. 20.

3 [b] Ac yn Jerusalem y trigodd *rhai* o feibion Judah, ac o feibion Benjamin, ac o feibion Ephraim, a Manasseh:

[b] Neh. 11. 1, &c.

4 Uthai mab Ammihud, fab Omri, fab Imri, fab Bani, o feibion Phares fab Judah.

5 Ac o'r Siloniaid; Asaiah y cyntaf-anedig, a'i feibion.

6 Ac o feibion Zerah; Jeuel, a'u brodyr, chwe chant a deg a phedwar ugain.

7 Ac o feibion Benjamin, Salu mab Mesùlam, fab Hodafiah, fab Hasenuah,

8 Ibneiah hefyd mab Jeroham, ac Elah mab Uzzi, fab Michri, a Mesùlam mab Sephatïah, fab Reuel, fab Ibnijah;

9 A'u brodyr yn ol eu cenhedlaethau, naw cant deg a deugain a chwech. Y dynion hyn oll *oedd* bennau cenedl ar dŷ eu tadau.

10 ¶ [c] Ac o'r offeiriaid; Jedaiah, a Jehoiarib, a Jachin,

[c] Neh. 11. 10, &c.

11 † Azarïah, hefyd mab Hilcïah, fab Mesùlam, fab Sadoc, fab Meraioth, fab Ahitub, tywysog tŷ Dduw;

† Neh. 11. 11, *Seraiah.*

12 Adaiah hefyd mab Jeroham, fab Passur, fab Malcïah; a Maasïa, mab Adïel, fab Jazerah, fab Mesùlam, fab Mesilemith, fab Immer

13 A'u brodyr, pennaf ar dŷ eu tadau, yn
fil a saith gant a thrugain; yn wŷr galluog
o nerth i waith gwasanaeth tŷ DDUW.
14 Ac o'r Lefiaid; Semaiah mab Hasub,
fab Azricam, fab Hasabiah, o feibion Me-
rari,
15 Bacbaccar hefyd, Heres, a Galal, a
Mattaniah mab Michah, fab Zichri, fab
Asaph;
16 Obadiah hefyd mab Semaiah, fab Ga-
lal, fab Jeduthun; a Berechiah mab Asa, fab
Elcanah, yr hwn a drigodd yn nhrefydd y
Netophathiaid.
17 Y porthorion hefyd *oedd*, Sàlum, ac
Accub, a Thalmon, ac Ahiman, a'u brodyr:
Sàlum *ydoedd* bennaf;
18 A hyd yn hyn ym mhorth y brenhin
o du 'r dwyrain. Y rhai hyn o finteioedd
meibion Lefi *oedd* borthorion.
19 Sàlum hefyd mab Core, fab Ebiasaph
fab Corah, a'r Corahiaid ei frodyr ef o
dylwyth ei dad, *oedd* ar waith y weinidog-
† Heb. *rhiniogau.* aeth, yn cadw † pyrth y babell: a'u tadau
hwynt ar lu'r ARGLWYDD, *oedd* yn cadw y
ddyfodfa i mewn.
d Num. 31. 6. 20 d Phinees hefyd mab Eleazar a fuasai
dywysog arnynt hwy o'r blaen: *a'r* AR-
GLWYDD *ydoedd* gyd ag ef.
21 Zechariah mab Meselemiah *ydoedd*
borthor drws pabell y cyfarfod.
22 Hwynt oll *y rhai* a etholasid yn borth-
orion wrth y rhiniogau, *oedd* ddau cant
e Pen. 26. 1, 2. a deuddeg. Hwynt-hwy yn eu trefydd a
rifwyd wrth eu hachau; gosodasai e Da-
f 1 Sam. 9. 9. fydd a Samuel f y gweledydd y rhai hynny
‡ Neu, *hymddiried.* yn eu ‡ swydd.
23 Felly hwynt a'u meibion *a safent* wrth
byrth tŷ'r ARGLWYDD, *sef* tŷ'r babell, i
wylied wrth wyliadwriaethau.
24 Y porthorion oedd ar bedwar o fan-
nau, dwyrain, gorllewin, gogledd, a dehau.
25 A'u brodyr, *y rhai oedd* yn eu trefydd,
g 2 Bren. 11. 5. *oedd* i ddyfod g ar y seithfed dydd, o amser
i amser, gyd â hwynt.
§ Neu, *ymddiried.* 26 Canys dau § lywodraeth y Lefiaid
hyn, y pedwar pen porthor, yr oedd yr
ystafelloedd a thrysorau tŷ DDUW.
27 ¶ Ac o amgylch tŷ DDUW y llettyent
hwy, canys arnynt hwy 'r *oedd* yr oruch-
wyliaeth, ac arnynt hwy hefyd *yr oedd* ei
agoryd o fore i fore.
28 Ac o honynt hwy *yr oedd golygwŷr* ar
lestri 'r weinidogaeth, ac mewn rhif y dyg-
ent hwynt i mewn, ac mewn rhif y dygent
hwynt allan.
29 A *rhai* o honynt hefyd *oedd* wedi eu
gosod ar y llestri, ac ar holl ddodrefn y cys-
segr, ac ar y peilliaid, a'r gwin, a'r olew, a'r
thus, a'r aroglau peraidd.
30 *Rhai* hefyd o feibion yr offeiriaid *oedd*
h Exod. 30. 23. yn gwneuthur h ennaint o'r aroglau per-
aidd.
31 A Mattithiah *un* o'r Lefiaid (yr hwn
*oedd* gyntaf-anedig Sàlum y Corahiad) *ydoedd*
‖ Neu, *ymddiried.* mewn ‖ swydd ar waith y † radell.
32 Ac *eraill* o feibion y Cohathiaid eu
† Neu, *badell.* brodyr hwynt, *oedd* ar y bara ‡ gosod, i'*w*
ddarparu bob Sabboth.
‡ Neu, *drefn.* 33 A dyma'r i cantorion, pennau cenedl
y Lefiaid, *y rhai oedd* mewn ystafelloedd
i Pen. 6. 31. a 25. 1. yn ysgafala; o herwydd arnynt *yr oedd* y
gwaith *hwnnw* ddydd a nos.
34 Dyma bennau cenedl y Lefiaid, pen-
nau trwy eu cenhedlaethau: hwy a drigent
k Pen. 8. 29. yn Jerusalem.
35 ¶ k Ac yn Gibeon y trigodd tad
Gibeon, Jehiel, ac enw ei wraig ef *oedd*
Maachah:
36 A'i fab cyntaf-anedig ef *oedd* Abdon,
yna Sur, a Chis, a Baal, a Ner, a Nadab,
37 A Gedor, ac Ahio, a Zechariah, a
Micloth.
38 A Micloth a genhedlodd Simeam: a
hwythau hefyd, ar gyfer eu brodyr, a drig-
asant yn Jerusalem gyd â'u brodyr.
39 l Ner hefyd a genhedlodd Cis, a Chis l Pen. 8. 33.
a genhedlodd Saul, a Saul a genhedlodd
Jonathan, a Malchisua, ac Abinadab, ac
Esbaal.
40 A mab Jonathan *oedd* Meribbaal; a
Meribbaal a genhedlodd Michah.
41 A meibion Michah *oedd*, Pithon, a
Melech, a Tharea, *ac* m *Ahaz.* m Pen. 8. 35.
42 Ac Ahaz a genhedlodd Jarah, a Jarah a
genhedlodd Alemeth, ac Azmafeth, a Zimri;
a Zimri hefyd a genhedlodd Mosa;
43 A Mosa a genhedlodd Bineah; a Re-
phaiah *oedd* ei fab ef, Elasah ei fab yntau,
Asel ei fab yntau.
44 Ac i Asel *yr ydoedd* chwech o feibion, a
dyma eu henwau hwynt; Azricam, Bocheru,
ac Ismael, a Seariah, ac Obadiah, a Hanan.
Dyma feibion Asel.

## PEN. X.

1 *Cwymp Saul, a'i farwolaeth.* 8 *Gorfoledd y Philistiaid o'r achos hwnnw.* 11 *Caredigrwydd Jabes Gilead tuag at Saul a'i feibion.* 13 *Pechod Saul, am yr hwn yr aeth y frenhiniaeth oddi wrtho ef i Ddafydd.*

A'R a Philistiaid a ryfelasant yn erbyn 1056.
Israel, a ffodd gwŷr Israel o flaen y a 2 Sam. 31. 1, 2.
Philistiaid, ac a gwympasant yn † archoll-
edig ym mynydd Gilboa. † Neu, *lladdedig.*
2 A'r Philistiaid a erlidiasant ar ol Saul,
ac ar ol ei feibion: a'r Philistiaid a ladd-
asant Jonathan, ac ‡ Abinadab, a Malchisua, ‡ Neu, *Isui,* 1 Sam. 14. 49.
meibion Saul.
3 A'r rhyfel a drymhaodd yn erbyn Saul,
a'r perchen bwaau a'i cawsant ef, ac efe a
archollwyd gan y saethyddion.
4 Yna y dywedodd Saul wrth yr hwn
oedd yn dwyn ei arfau ef, Tyn dy gleddyf,
a gwân fi ag ef, rhag dyfod y rhai dien-
waededig hyn a'm gwatwar i. Ond arwein-
ydd ei arfau ef ni's gwnae, canys ofnodd yn
ddirfawr. Yna y cymmerth Saul gleddyf,
ac a syrthiodd arno.
5 A phan welodd arweinydd ei arfau ef
farw o Saul, syrthiodd yntau hefyd ar y
cleddyf, ac a fu farw.
6 Felly y bu farw Saul, a'i dri mab ef, a'i
holl dylwyth a fuant feirw ynghŷd.
7 A phan welodd holl wŷr Israel, y rhai
*oedd* yn y dyffryn, ffoi o honynt hwy, a
marw Saul a'i feibion; hwy a ymadawsant
o'u dinasoedd, ac a ffoisant; a'r Philistiaid
a ddaethant, ac a drigasant ynddynt.
8 ¶ A thrannoeth pan ddaeth y Philistiaid
i ddiosg y lladdedigion, hwy a gawsant Saul
a'i feibion yn feirw ym mynydd Gilboa.
9 Ac wedi iddynt ei ddiosg, hwy a gym-
merasant ei ben ef, a'i arfau, ac a anfonasant
i wlad y Philistiaid o amgylch, i ddangos i'w
delwau, ac i'r bobl.
10 A hwy a osodasant ei arfau ef yn nhŷ
eu duwiau, a'i ben-glog a grogasant hwy yn
nhŷ Dagon.
11 ¶ A phan glybu holl Jabes Gilead yr
hyn oll a wnaethai 'r Philistiaid i Saul,
12 Pob gwr nerthol a godasant, ac a
gymmerasant ymaith gorph Saul, a chyrph
ei feibion ef, ac a'u dygasant i Jabes, ac a

gladdasant eu hesgyrn hwynt dan y dderwen
yn Jabes, ac a ymprydiasant saith niwrnod.
13 ¶ Felly y bu farw Saul, am ei gam-
† Heb. *drosedd-odd.* wedd a † wnaethai efe yn erbyn yr Ar-
glwydd, b *sef* yn erbyn gair yr Ar-
b 1 Sam. 13. 13. a 15. 23. glwydd yr hwn ni chadwasai efe, ac
am iddo ymgynghori â dewines, c i ymofyn
*â hi:*
c 1 Sam. 28. 7. 14 Ac heb ymgynghori â'r Arglwydd:
am hynny y lladdodd efe ef, ac y trodd y
frenhiniaeth i Ddafydd fab Jesse.

## PEN. XI.

1 *Enneinio Dafydd yn lle Saul, o gyttundeb cyffredin, yn Hebron.* 4 *Ac yntau yn ynnill twr Sïon oddi ar y Jebusiaid, trwy wrol-iaeth Joab.* 10 *Enwau cedyrn Dafydd.*

1048.
a 2 Sam. 5. 1. YNA a holl Israel a ymgasglasant at
Ddafydd i Hebron, gan ddywedyd,
Wele, dy asgwrn a'th gnawd di ydym ni.
2 Doe hefyd, ac echdoe, pan ydoedd
Saul yn frenhin, tydi *oedd* yn arwain Is-
rael i mewn ac allan: a dywedodd yr Ar-
b Psal. 78. 71. glwydd dy Dduw wrthyt, Ti b a † bor-
† Neu, *lywo-draethi.* thi fy mhobl Israel, a thi a fyddi dywysog
ar fy mhobl Israel.
3 A holl henuriaid Israel a ddaethant at
y brenhin i Hebron, a Dafydd a wnaeth gy-
fammod â hwynt yn Hebron, ger bron yr
Arglwydd; a hwy a enneiniasant Ddafydd
yn frenhin ar Israel, yn ol gair yr Ar-
c 1 Sam. 16. 1, 12, 13. glwydd trwy law c Samuel.
4 ¶ A d Dafydd a holl Israel a aeth i Je-
d 2 Sam. 5. 6. rusalem, hon *yw* Jebus, ac yno y Jebusiaid
*oedd* drigolion y tir.
5 A thrigolion Jebus a ddywedasant wrth
Ddafydd, Ni ddeui i mewn yma. Etto Da-
fydd a ynnillodd dŵr Sïon, yr hwn *yw* di-
nas Dafydd.
6 A dywedodd Dafydd, Pwy bynnag a
darawo'r Jebusiaid yn gyntaf, efe a fydd yn
bennaf, ac yn dywysog. Yna'r esgynodd
Joab mab Serfiah yn gyntaf, ac a fu bennaf.
7 A thrigodd Dafydd yn y tŵr: o he-
‡ Sef, *Sïon,* 2 Sam. 5. 7. rwydd hynny y galwasant ef ‡ Dinas Da-
fydd.
8 Ac efe a adeiladodd y ddinas oddi am-
gylch, o Milo amgylch ogylch: a Joab a
§ Heb. *adfywiodd.* § adgyweiriodd y rhan arall i'r ddinas.
9 A Dafydd a aeth ac a gynnyddodd
fwyfwy, ac Arglwydd y lluoedd *oedd*
gyd ag ef.
e 2 Sam. 23. 8. 10 ¶ e Dyma hefyd bennaethiaid y ce-
dyrn oedd gan Ddafydd, yn ymgryfhâu
gyd ag ef yn ei deyrnas, *a* chyd â holl Is-
rael, i'w wneuthur ef yn frenhin ar Israel, yn
f 1 Sam. 16. 1, 12. ol f gair yr Arglwydd.
11 A dyma rif y cedyrn *oedd* gan Dda-
‖ Neu, *Hachmon-iad.* fydd; Jasobeam ‖ mab Hachmoni, pen y
capteniaid: hwn a ddyrchafodd ei wayw-
ffon yn erbyn tri chant, y rhai a laddwyd
ar unwaith *ganddo.*
12 Ac ar ei ol ef Eleazar mab Dodo, yr
Ahohiad, hwn *oedd un* o'r tri chedyrn.
1047.
† Neu, *Ephes-dammim,* 1 Sam. 17. 1. 13 Hwn oedd gyd â Dafydd yn † Pas-
dammim; a'r Philistiaid a ymgynnullasant
yno i ryfel, ac yr ydoedd rhan o'r maes yn
llawn haidd, a'r bobl a ffoisant o flaen y
Philistiaid.
‡ Neu, *safasant.* 14 A hwy a ‡ ymosodasant ynghanol y
rhandir *honno,* ac a'i hachubasant hi, ac
§ Neu, *A thri phennaeth y deg ar hugain.* a darawsant y Philistiaid: felly y gwared-
odd yr Arglwydd *hwynt* ag ymwared
mawr.
g 2 Sam. 23. 13. 15 ¶ § A g thri o'r deg pennaeth ar hu-
gain a ddisgynasant i'r graig at Ddafydd,
i ogof Adùlam; a llu'r Philistiaid oedd yn
gwersyllu yn nyffryn Rephaim.
16 A Dafydd yna *ydoedd* yn yr amddi-
ffynfa, a sefyllfa'r Philistiaid yna *oedd* yn
Bethlehem.
17 A Dafydd a flysiodd, ac a ddywedodd,
Oh pwy a rydd i mi ddïod ddwfr o bydew
Bethlehem, yr hwn *sydd* wrth y porth?
18 A'r tri a ruthrasant trwy wersyll y
Philistiaid, ac a dynnasant ddwfr o bydew
Bethlehem, yr hwn *oedd* wrth y porth, ac
a'*i* cymmerasant ac a'*i* dygasant i Dda-
fydd: ac ni fynnai Dafydd ei yfed ef,
ond efe a'i dïod-offrymmodd ef i'r Ar-
glwydd:
19 Ac efe a ddywedodd, Na atto fy Nuw
i mi wneuthur hyn. A yfaf fi waed y dyn-
ion hyn ‖ a beryglasant eu heinioes? o he- ‖ Heb. *ynghŷd a'u hei-*
rwydd mewn *enbydrwydd am* eu heinioes y *moes.*
dygasant ef: am hynny ni fynnai efe ei
yfed. Y tri chedyrn a wnaethant hyn.
20 ¶ h Ac Abisai brawd Joab oedd h 2 Sam.
bennaf *o'r* tri. A hwn a ysgydwodd ei 23. 28, &c.
waywffon yn erbyn tri chant, *ac* a'*u* ladd-
odd *hwynt:* ac iddo *y bu* enw ym mhlith
y tri.
21 O'r tri, anrhydeddusach nâ'r ddau
*eraill,* a thywysog iddynt, oedd efe; ond ni
ddaeth efe hyd y tri *cyntaf.*
22 i Benaiah mab Jehoiada, mab gwr i 2 Sam. 23.
grymmus o Cabseel, mawr *ei* weithred- 20.
oedd: efe a laddodd ddau o † gedyrn † Heb.
Moab; ac efe a ddisgynodd ac a laddodd *lewod.*
lew mewn pydew yn amser eira.
23 Ac efe a laddodd Aipht-ddyn, gwr pum
cufydd o fesur; ac yn llaw'r Aipht-ddyn *yr*
*oedd* gwaywffon megis carfan gwehydd; ac
yntau a aeth i wared atto ef â ffon, ac a ddug
y waywffon o law'r Aipht-ddyn, ac a'i ladd-
odd ef â'i waywffon ei hun.
24 Hyn a wnaeth Benaiah mab Jehoiada,
ac iddo *y bu* enw ym mhlith y tri chedyrn.
25 Wele, anrhydeddus *oedd* efe ym mysg
y deg ar hugain, ond at y tri *cyntaf* ni
ddaeth efe: a gosododd Dafydd ef ar ei wŷr
o gard.
26 ¶ A chedyrn y llu *oedd* k Asahel k 2 Sam. 23.
brawd Joab, Elhanan mab Dodo o Beth- 24.
lehem,
27 Sammoth yr ‡ Harodiad, Heles y Pe- ‡ Neu, *Haroriad,*
loniad, 2 Sam. 23.
28 Ira mab Icces y Tecoiad, Abïezer yr 25.
Anthothiad,
29 Sibbechai'r Husathiad, Ilai'r Aho-
hiad,
30 Maharai y Netophathiad, Heled mab
Baanah y Netophathiad,
31 Ithai mab Ribai o Gibeah meibion
Benjamin, Benaiah y Pirathoniad,
32 Hurai o afonydd Gaas, Abïel yr Ar-
bathiad,
33 Azmafeth y Baharumiad, Eliahba y
Saalboniad,
34 Meibion Hasem y Gizoniad, Jonathan
mab Sageth yr Harariad,
35 Ahïam mab Sachar yr Harariad, Eli-
phal mab Ur,
36 Hepher y Mecherathiad, Ahïah y Pe-
loniad,
37 Hesro y Carmeliad, Naarai mab Es-
bai,
38 Joel mab Nathan, Mibhar § mab § Neu,
Haggeri, *yr Hagge-riad.*
39 Selec yr Ammoniad, Naharai y Be-
rothiad, yr hwn oedd yn dwyn arfau Joab
mab Serfiah,

40 Ira 'r Ithriad, Gareb yr Ithriad,
41 Urias yr Hethiad, Zabad mab Alai,
42 Adina mab Sisa y Reubeniad, pennaeth
y Reubeniaid, a chyd ag ef ddeg ar hugain,
43 Hanan mab Maachah, a Josaphat y
Mithniad.
44 Uzzia 'r Asterathiad, Sama a Jehïel,
meibion Hothan yr Aroëriad.
† Neu, *y Simriad.* 45 Jediael † mab Simri, a Joha ei frawd
ef y Tisiad,
46 Elïel y Mahafiad, a Jeribai, a Josafiah,
meibion Elnaam, ac Ithmah y Moabiad,
47 Eliel, ac Obed, a Jasiel y Mesobaiad.

## PEN. XII.

1 *Enwau'r rhai a ddaeth at Ddafydd i Siclag,*
*23 a'r lluoedd a ddaeth atto ef i Hebron.*

Cylch 1058. A Dyma 'r rhai a ddaeth at Ddafydd i
a Siclag, ac efe etto † yn cadw arno rhag
a 1 Sam. 27. 6. Saul fab Cis: a hwy *oedd* ym mhlith y rhai
cedyrn, cynnorthwywŷr y rhyfel.
† Heb. *wedi cau.* 2 Yn arfogion â bwaau, yn medru o dde-
b Barn. 20. 16. hau ac b o aswy daflu â cherrig, a saethu
mewn bwaau: o frodyr Saul, o Benjamin.
3 Y pennaf *oedd* Ahïezer, yna Joas, meib-
‡ Neu, *Hasmaah.* ion ‡ Semaah y Gibeathiad, a Jezïel a Phelet
meibion Azmafeth, a Berachah, a Jehu yr
Anthothiad,
4 Ac Ismaiah y Gibeoniad, grymmus *oedd*
*efe* ym mhlith y deg ar hugain, a gor-
uwch y deg ar hugain; Jeremïah hefyd,
a Jahazïel, a Johanan, a Josabad y Ge-
derathiad,
5 Eluzai, a Jerimoth, a Bealïah, a Se-
marïah, a Sephatïah yr Haruphiad,
6 Elcanah, a Jesïah, ac Azareel, a Joëzer,
a Jasobeam, y Corhïaid,
7 A Joëlah, a Zebadïah, meibion Jeroham
o Gedor.
8 A *rhai* o'r Gadiaid a ymneillduasant at
Ddafydd, i'r amddiffynfa i'r anialwch, yn
gedyrn o nerth, gwŷr milwraidd i ryfel,
yn medru trin tarian a bwcled, ac wynebau
llewod *oedd* eu hwynebau hwynt, ac megis
§ Heb. *i brysuro.* iyrchod ar y mynyddoedd § c o fuander
c 2 Sam. 2. 18. *oeddynt hwy.*
9 Ezer y cyntaf, Obadïah yr ail, Elïab y
trydydd,
10 Mismannah y pedwerydd, Jeremïah y
pummed,
11 Attai y chweched, Elïel y seithfed,
12 Johanan yr wythfed, Elzabad y naw-
fed,
13 Jeremïah y degfed, Machbanai 'r unfed
ar ddeg.
14 Y rhai hyn *oedd* o feibion Gad, yn
‖ Neu, a wrthwynebai *gant*, &c. gapteniaid y llu: yr un lleiaf ‖ *oedd* ar gant,
a'r mwyaf ar fil.
15 Dyma hwy y rhai a aethant dros yr
Iorddonen yn y mis cyntaf, a hi wedi
† Heb. *llenwi.* † d llifo dros ei holl dorlannau, ac a yrras-
ant i ffo holl *drigolion* y dyffrynoedd tu a'r
d Jos. 3. 15. dwyrain, a thu a'r gorllewin.
16 A *rhai* o feibion Benjamin a Judah a
ddaethant i'r amddiffynfa at Ddafydd.
‡ Heb. *o'u blaen.* 17 A Dafydd a aeth ‡ i'w cyfarfod
hwynt, ac a lefarodd ac a ddywedodd
wrthynt, Os mewn heddwch y daethoch
chwi attaf fi i'm cynnorthwyo, bydd fy
nghalon yn un â chwi: ond os i'm brad-
§ Neu, *drais.* ychu i'm gelynion, a minnau heb § gamwedd
yn fy nwylaw, Duw ein tadau ni a edrycho,
ac a geryddo.
‖ Heb. *wisgodd am; felly* Barn. 6. 34. 18 A'r yspryd a ‖ ddaeth ar Amasai pen-
naeth y capteniaid, *ac efe a ddywedodd,*
Eiddot ti, Dafydd, a chyd â thi, fab Jesse,
*y byddwn ni;* heddwch, heddwch i ti, a
hedd i'th gynnorthwywŷr; o herwydd dy
Dduw sydd yn dy gynnorth di. Yna Da-
fydd a'u croesawodd hwynt, ac a'u gosod-
odd hwy yn bennaethiaid ar y fyddin.
19 A *rhai* o Manasseh a droes at Ddafydd, Cylch
e pan ddaeth efe gyd â'r Philistiaid yn erbyn 1056.
Saul i ryfel, ond ni chynnorthwyasant e 1 Sam. 29.
hwynt: canys f pennaduriaid y Philistiaid, 2.
wrth gyngor, a'i gollyngasant ef ymaith, f 1 Sam. 29.
gan ddywedyd, Efe a syrth at ei feistr Saul 4.
am ein pennau ni.
20 Fel yr oedd efe yn myned i Siclag,
trodd atto ef o Manasseh, Adnah, a Joza-
bad, a Jediael, a Michael, a Jozabad, ac
Elihu, a Silthai, y rhai *oedd* bennaethiaid y
miloedd ym Manasseh.
21 A'r rhai hyn a gynnorthwyasant Dda-
fydd † yn erbyn g y dorf: canys cedyrn o † Neu,
nerth oeddynt hwy oll, a chapteniaid ar *gyd â'r.*
y llu. g 1 Sam. 30.
22 Canys rhai a ddae at Ddafydd beunydd 1, 9, 10.
y pryd *hynny,* i'w gynnorthwyo ef hyd
onid *oedd efe* yn llu mawr, megis llu Duw.
23 ¶ A dyma rifedi 'r pennau, y rhai yn 1048.
arfogion i ryfel h a ddaethant at Ddafydd i h 2 Sam. 2,
Hebron, i droi brenhiniaeth Saul atto ef, 3, 4.
i yn ol gair yr ARGLWYDD. i 1 Sam. 16.
24 O feibion Judah, yn dwyn tarian a 1, 3.
ffonwayw, chwe mil ac wyth cant, yn ‡ arfog ‡ Neu,
i ryfel. *barod.*
25 O feibion Simeon, yn gedyrn nerthol i
ryfel, saith mil a chant.
26 O feibion Lefi, pedair mil a chwe chant.
27 A Jehoiada *oedd* dywysog ar yr Aaron-
iaid, a chyd ag ef dair mil a saith cant.
28 k Sadoc hefyd, llangc grymmus ner- k 2 Sam. 8.
thol, ac o dŷ ei dad ef dau ar hugain o 17.
gapteniaid.
29 Ac o feibion Benjamin brodyr Saul,
tair mil: canys hyd yn hyn l llawer o ho- l 2 Sam. 2.
nynt oedd yn dilyn tŷ Saul. 8, 9.
30 Ac o feibion Ephraim, ugain mil ac
wyth gant, yn rymmus nerthol, yn wŷr en-
wog yn nhŷ eu tadau.
31 Ac o hanner llwyth Manasseh, tair mil
ar bymtheg, y rhai a hyspysasid erbyn *eu*
henwau, i ddyfod i wneuthur Dafydd yn
frenhin.
32 Ac o feibion Issachar, m y rhai a fedr- m Est. 1.
ent ddeall yr amseroedd i wybod beth a 13.
ddylai Israel ei wneuthur, eu pennaethiaid
hwynt *oedd* ddeucant, a'u holl frodyr *oedd*
wrth eu gorchymyn hwynt.
33 O Zabulon, y rhai a aent allan i ryfel,
yn medru rhyfela â phob arfau rhyfel, deng
mil a deugain, yn medru byddino, a hynny
§ yn ffyddlon. § Heb.
34 Ac o Naphtali, mil *o* dywysogion, a *heb galon*
chyd â hwynt, â tharian a gwaywffon, ddwy *a chalon.*
fil ar bymtheg ar hugain.
35 Ac o'r Daniaid, wyth mil ar hugain a
chwe chant, yn medru rhyfela.
36 Ac o Aser yr oedd deugain mil yn
myned allan mewn byddin, yn medru
‖ rhyfela. ‖ Neu,
37 Ac o'r tu hwnt i'r Iorddonen, o'r *byddino.*
Reubeniaid, ac o'r Gadiaid, ac o hanner
llwyth Manasseh, *y daeth* chwech ugain mil
mewn pob rhyw arfau cymmwys i ryfel.
38 Yr holl ryfelwŷr hyn, yn medru by-
ddino, a ddaethant mewn calon berffaith
i Hebron, i wneuthur Dafydd yn frenhin
ar holl Israel: a'r rhan arall o Israel *oedd*
hefyd yn un feddwl i wneuthur Dafydd
yn frenhin.

39 A hwy a fuant yno gyd â Dafydd dri-
diau, yn bwytta ac yn yfed: canys eu brodyr
a arlwyasant iddynt hwy.
40 A hefyd, y rhai oedd agos attynt hwy,
hyd Issachar, a Zabulon, a Naphtali, a ddy-
gasant fara ar asynod, ac ar gamelod, ac ar
† Neu, *ymborth o flawd, &c.* fulod, ac ar ychen, yn † fwyd, yn flawd,
yn ffigys, ac yn resingau, ac yn win, ac yn
olew, ac yn wartheg, ac yn ddefaid yn
helaeth: o herwydd *yr ydoedd* llawenydd yn
Israel.

## PEN. XIII.

1 *Dafydd mewn rhwysg fawr yn cyrchu 'r arch o Ciriath-jearim, 9 ac, o herwydd taro Uzza, yn gadael yr arch yn nhŷ Obed-edom.*

1045. A Dafydd a ymgynghorodd â chapteniaid
y miloedd a'r cannoedd, *ac* â'r holl dy-
wysogion.
2 A Dafydd a ddywedodd wrth holl
gynnulleidfa Israel, Os da gennych chwi, a
† Heb. *torrwn allan a danfonwn.* *bod hyn* o'r ARGLWYDD ein DUW, † dan-
fonwn ar led at ein brodyr y rhai a wedd-
illwyd trwy holl diroedd Israel, a chyd â
hwynt *at* yr offeiriaid a'r Lefiaid o fewn
‡ Heb. *dinasoedd eu meusydd.* ‡ eu dinasoedd a'u meusydd pentrefol, i'w
cynnull hwynt attom ni.
3 A dygwn § drachefn arch ein DUW
§ Heb. *o amgylch.* attom ni; canys nid ymofynasom â hi yn
nyddiau Saul.
4 A'r holl dyrfa a ddywedasant am wneu-
thur felly: canys uniawn *oedd* y peth yng-
olwg yr holl bobl.
a 2 Sam. 6. 1. 5 Felly [a] y casglodd Dafydd holl Israel
ynghŷd, o Sihor yr Aipht, hyd y ffordd y
delir i Hemath, i ddwyn arch DUW o
b 1 Sam. 6. 21. a 7. 1. [b] Ciriath-jearim.
6 A Dafydd a aeth i fynu, a holl Israel, i
c Jos. 15. 9, 60. [c] Baalah, sef Ciriath-jearim, yr hon *sydd*
yn Judah, i ddwyn oddi yno arch yr AR-
GLWYDD DDUW, yr hwn sydd yn preswylio
*rhwng* y cerubiaid, *ar* yr hon y gelwir *ei*
*enw ef.*
|| Heb. *wnaethant i'r arch farchogaeth ar, &c.* 7 A hwy a || ddygasant arch DDUW [d] ar
fên newydd o dŷ Abinadab: ac Uzza ac
Ahïo oedd yn gyrru 'r fên.
8 A Dafydd a holl Israel oedd yn chwarae
ger bron DUW, â'*u* holl nerth, ac â chaniad-
d Edrych Num. 4. 15. au, ac â thelynau, ac â nablau, ac â thym-
Pen. 15. 2, 13. panau, ac â symbalau, ac ag udgyrn.
9 ¶ A phan ddaethant hyd lawr-dyrnu
† A elwir *Nachon,* 2 Sam. 6. 6. † Cidon, Uzza a estynodd ei law i ddala 'r
arch, canys yr ychen ‡ oedd yn ei hysgwyd hi.
10 Ac ennynodd llid yr ARGLWYDD yn
‡ Neu, *a dramgwyddent.* erbyn Uzza, ac efe a'i lladdodd ef, [e] oblegid
iddo estyn ei law at yr arch; ac yno y bu efe
farw ger bron DUW.
11 A bu ddrwg gan Ddafydd am i'r AR-
e Num. 4. 15. GLWYDD rwygo rhwygiad yn Uzza; ac efe
§ Sef, *Rhwyg Uzza.* a alwodd y lle hwnnw § Peres-uzza, hyd y
dydd hwn.
12 A Dafydd a ofnodd DDUW y dydd
hwnnw, gan ddywedyd, Pa fodd y dygaf
arch DDUW i mewn attaf fi?
|| Heb. *symmudodd.* 13 Ac ni || ddug Dafydd yr arch atto ei
hun i ddinas Dafydd, ond efe a'i cludodd
hi i dŷ Obed-edom y Gethiad.
14 Ac arch DDUW a arhosodd gyd â theulu
Obed-edom, yn ei dŷ ef, dri mis. A'r AR-
f Fel Pen. 26. 5. GLWYDD a fendithiodd [f] dŷ Obed-edom, a'r
hyn oll *ydoedd* eiddo.

## PEN. XIV.

1 *Caredigrwydd Hiram i Ddafydd. 2 Dedwyddwch Dafydd o'i bobl, o'i wragedd, ac o'i blant. 8 Y ddwy oruchafiaeth a gafodd efe yn erbyn y Philistiaid.*

A [a] Hiram brenhin Tyrus a anfonodd gen- Cylch 1043.
hadau at Ddafydd, a choed cedr, a seiri
meini, a seiri prennau, i adeiladu iddo ef a 2 Sam. 5. 11, &c.
dŷ.
2 A gwybu Dafydd sicrhâu o'r ARGLWYDD
ef yn frenhin ar Israel: canys yr oedd ei
frenhiniaeth ef wedi ei dyrchafu yn uchel, o
herwydd ei bobl Israel.
3 ¶ A chymmerth Dafydd wragedd † ych- † Heb. *etto.*
waneg yn Jerusalem: a Dafydd a genhedl-
odd feibion ychwaneg, a merched.
4 A [b] dyma enwau 'r plant oedd iddo ef b Pen. 3. 5.
yn Jerusalem: Sammua, a Sobab, Nathan, a
Salomon,
5 Ac Ibhar, ac Elisua, ac Elpalet,
6 A Nogah, a Nepheg, a Japhïa,
7 Ac Elisama, a ‡ Beeliada, ac Eliphalet. ‡ Neu, *Eliada,* 2 Sam. 5. 16.
8 ¶ [c] A phan glybu 'r Philistiaid fod
Dafydd wedi ei enneinio yn frenhin ar holl
Israel, y Philistiaid oll a aethant i fynu i c 2 Sam. 5. 17.
geisio Dafydd: a chlybu Ddafydd, ac a aeth
allan yn eu herbyn hwynt. 1047.
9 A'r Philistiaid a ddaethant ac a ym-
wasgarasant yn nyffryn Rephaim.
10 A Dafydd a ymgynghorodd â DUW,
gan ddywedyd, A af fi i fynu yn erbyn y
Philistiaid? ac a roddi di hwynt yn fy llaw
i? A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrtho,
Cerdda i fynu, canys mi a'u rhoddaf hwynt
yn dy law di.
11 Felly 'r aethant i fynu i § Baal-pera- § Sef, *lle rhwygiadau.*
sim, a Dafydd a'u tarawodd hwynt yno. A
Dafydd a ddywedodd, DUW a dorrodd i
mewn ar fy ngelynion trwy fy llaw i, fel
rhwygo dyfroedd: am hynny y galwasant
hwy enw 'r lle hwnnw Baal-perasim.
12 A phan adawsant hwy eu duwiau,
dywedodd Dafydd am eu llosgi hwynt yn
tân.
13 A thrachefn etto 'r Philistiaid a ym- 1043.
wasgarasant yn y dyffryn.
14 A Dafydd a ymgynghorodd â DUW
drachefn; a DUW a ddywedodd wrtho,
Na ddos i fynu ar eu hol hwynt, tro ymaith
oddi wrthynt, [d] a thyred arnynt ar gyfer y d 2 Sam. 5. 23.
morwŷdd.
15 A phan glywech drwst cerddediad ym
mrig y morwŷdd, yna dos allan i ryfel:
canys y mae DUW wedi myned o'th flaen di,
i daro llu 'r Philistiaid.
16 A gwnaeth Dafydd megis y gorchy-
mynasai DUW iddo; a hwy a darawsant lu 'r
Philistiaid o Gibeon hyd Gazer.
17 Ac enw Dafydd a aeth trwy 'r holl
wledydd; a'r ARGLWYDD a roddes ei ar-
swyd ef ar yr holl genhedloedd.

## PEN. XV.

1 *Dafydd yn parottôi lle i'r arch, yn trefnu 'r offeiriaid a'r Lefiaid i'w chyrchu hi o dŷ Obed-edom, 25 ac yn ei dwyn hi yn ei hol mewn llawenydd mawr. 29 Michal yn ei ddiystyru ef.*

A *Dafydd* a wnaeth iddo dai yn ninas Da- 1042.
fydd, ac a barottôdd le i arch DUW; ac
a osododd iddi babell.
2 A Dafydd a ddywedodd, [a] Nid *yw* i a Num. 4. 15.
*neb* ddwyn arch DUW, ond i'r Lefiaid: Deut. 31. 9.
canys hwynt a ddewisodd yr ARGLWYDD
i ddwyn arch DUW, ac i weini iddo ef yn
dragywydd.
3 A Dafydd a gynhullodd holl Israel i Cylch
Jerusalem, i ddwyn i fynu arch yr AR- 1042.
GLWYDD i'w lle a barottoisai efe iddi hi.
4 A Dafydd a gynhullodd feibion Aaron,
a'r Lefiaid.

5 O feibion Cohath; Urïel y pennaf, a'i † frodyr, cant ac ugain. [† Neu, *geraint.*]
6 O feibion Merari; Asaiah y pennaf, a'i frodyr, dau cant ac ugain.
7 O feibion Gersom; Joël y pennaf, a'i frodyr, cant a deg ar hugain.
8 O feibion [b] Elisaphan; Semaiah y pennaf, a'i frodyr, dau cant. [b Exod. 6. 22.]
9 O feibion [c] Hebron; Elïel y pennaf, a'i frodyr, pedwar ugain. [c Exod. 6. 18.]
10 O feibion Uzzïel; Amminadab y pennaf, a'i frodyr, cant a deuddeg.
11 A Dafydd a alwodd am Sadoc ac am Abïathar yr offeiriaid, ac am y Lefiaid, am Urïel, Asaiah, a Joël, Semaiah, ac Elïel, ac Amminadab,
12 Ac a ddywedodd wrthynt, Chwi *sydd* bennau cenedl ym mhlith y Lefiaid: ymsancteiddiwch chwi a'ch brodyr, fel y dygoch i fynu arch ARGLWYDD DDUW Israel i'*r lle* a barottoais iddi hi.
13 [d] O herwydd na's *gwnaethoch* o'r dechreuad, [e] y torrodd yr ARGLWYDD ein Duw arnom ni, oblegid na cheisiasom ef yn y modd y dylesym. [d 2 Sam. 6. 3. Pen. 13. 7. e Pen. 13. 10, 11.]
14 Felly 'r offeiriaid a'r Lefiaid a ymsancteiddiasant i ddwyn i fynu arch ARGLWYDD DDUW Israel.
15 A meibion y Lefiaid a ddygasant arch Duw ar eu hysgwyddau, wrth drosolion, megis [f] y gorchymynodd Moses, yn ol gair yr ARGLWYDD. [f Exod. 25. 14. Num. 4. 15. a 7. 9.]
16 A Dafydd a ddywedodd wrth dywysogion y Lefiaid, ar iddynt osod eu brodyr y cerddorion i leisio ag offer cerdd, nablau, a thelynau, a symbalau, yn lleisio gan ddyrchafu llef mewn gorfoledd.
17 Felly 'r Lefiaid a osodasant [g] Heman fab Joël; ac o'i frodyr ef [h] Asaph fab Berechïah; ac o feibion Merari eu brodyr, [i] Ethan fab Cusaiah. [g Pen. 6. 33. h Pen. 6. 39. i Pen. 6. 44.]
18 A chyd â hwynt eu brodyr o'r ail *radd*, Zecharïah, Ben, a Jaazïel, a Semiramoth, a Jehïel, ac Unni, Elïab, a Benaiah, a Maasïah, a Mattithïah, ac Elipheleh, a Micniah, ac Obed-edom, a Jehïel, y porthorion.
19 Felly Heman, Asaph, ac Ethan, y cerddorion, *oeddynt* i leisio â symbalau pres.
20 A Zecharïah, ac [k] Azïel, a Semiramoth, a Jehïel, ac Unni, ac Elïab, a Maasïah, a Benaiah, *a ganent* nablau ar Alamoth. [k Adn. 18, *Jaazïel.*]
21 A Mattithïah, ac Elipheleh, a Micniah, ac Obed-edom, a Jehïel, ac Azazïah, *oeddynt* ‡ â thelynau ar y Seminith i ragori. [‡ Neu, *ar yr wythfed i oruchwylio.*]
22 Chenanïah hefyd oedd flaenor y Lefiaid ar y § gân: efe a ddysgai *eraill* am y ‖ gân, canys cyfarwydd *ydoedd*. [§ Neu, *clûd.* ‖ Heb. *dyrchafiad.*]
23 A Berechïah ac Elcanah *oedd* borthorion i'r arch.
24 A Sebanïah, a Jehosaphat, a Nathaneel, ac Amasai, a Zecharïah, a Benaiah, ac Elïezer, yr offeiriaid, [l] *oedd* yn lleisio mewn udgyrn o flaen arch Duw: Obed-edom hefyd a Jehïah *oedd* borthorion i'r arch. [l Num. 10. 8.]
25 ¶ Felly [m] Dafydd a henuriaid Israel, a thywysogion y miloedd, a aethant i ddwyn i fynu arch cyfammod yr ARGLWYDD o dŷ Obed-edom mewn llawenydd. [m 2 Sam. 6. 12, 13, &c.]
26 A phan gynnorthwyodd Duw y Lefiaid oedd yn dwyn arch cyfammod yr ARGLWYDD, hwy a offrymmasant saith o fustych, a saith o hyrddod.
27 A Dafydd *oedd* wedi ymwisgo mewn gwisg o liain main; a'r holl Lefiaid, y rhai oedd yn dwyn yr arch, a'r cantorion, Chenanïah hefyd meistr y † gân, a'r cerddorion. Ac am Ddafydd *yr oedd* Ephod liain. [† Neu, *clûd.*]
28 A holl Israel a ddygasant i fynu arch cyfammod yr ARGLWYDD â bloedd, â llais ‡ trwmped, ag udgyrn, ac â symbalau, yn lleisio gyd â'r nablau a'r telynau. [‡ *cornet.*]
29 ¶ A [n] phan ydoedd arch cyfammod yr ARGLWYDD yn dyfod i ddinas Dafydd, Michal merch Saul a edrychodd trwy ffenestr, ac a ganfu Ddafydd y brenhin yn dawnsio ac yn chwarae: a hi a'i dirmygodd ef yn ei chalon. [n 2 Sam. 6. 16.]

## PEN. XVI.

*1 Dafydd yn aberthu, 4 yn ordeinio cantorion i ganu mawl i Dduw, 7 yn gwneuthur Psalm o ddiolch i Dduw, 37 yn gosod gweinidogion, a phorthorion, ac offeiriaid, a cherddorion, i weini i'r arch yn wastadol.*

1042.
1 FELLY [a] y dygasant hwy arch Duw i mewn, ac a'i gosodasant hi ynghanol y babell a osodasai Dafydd iddi hi: a hwy a offrymmasant offrymmau poeth ac ebyrth hedd ger bron Duw. [a 2 Sam. 6. 17.]
2 Ac wedi i Ddafydd orphen aberthu offrymmau poeth ac ebyrth hedd, efe a fendithiodd y bobl yn enw'r ARGLWYDD.
3 Ac efe a rannodd i bob un *o* Israel, yn wr ac yn wraig, dorth o fara, a dryll o gig, a chostrelaid *o win*.
4 ¶ Ac efe a osododd ger bron arch yr ARGLWYDD weinidogion o'r Lefiaid, i gofio, ac i foliannu, ac i glodfori ARGLWYDD DDUW Israel.
5 Asaph *oedd* bennaf, ac yn ail iddo ef Zecharïah, Jeiel, a Semiramoth, a Jehïel, a Mattithïah, ac Elïab, a Benaiah, ac Obed-edom: a Jeiel ag offer nablau, a thelynau; ac Asaph oedd yn lleisio â symbalau.
6 Benaiah hefyd a Jahazïel yr offeiriaid *oedd* ag udgyrn yn wastadol o flaen arch cyfammod Duw.
7 ¶ Yna y dydd hwnnw y rhoddes Dafydd *y Psalm hon* [b] yn gyntaf i foliannu'r ARGLWYDD, yn llaw Asaph a'i frodyr. [b Edrych 2 Sam. 23. 1.]
8 [c] Moliennwch yr ARGLWYDD, gelwch ar ei enw ef, hyspyswch ei weithredoedd ef ym mhlith y bobloedd. [c Psal. 105. 1.]
9 Cenwch iddo, clodforwch ef, ymadroddwch am ei holl ryfeddodau.
10 Ymlawenychwch yn ei enw sanctaidd ef; ymhyfryded calon y sawl a geisiant yr ARGLWYDD.
11 Ceisiwch yr ARGLWYDD a'i nerth ef, ceisiwch ei wyneb ef yn wastadol.
12 Cofiwch ei wŷrthiau y rhai a wnaeth efe, ei ryfeddodau, a barnedigaethau ei enau;
13 Chwi had Israel ei was ef, chwi meibion Jacob ei etholedigion ef.
14 Efe *yw*'r ARGLWYDD ein Duw ni; ei farnedigaethau ef *sydd* trwy yr holl ddaear.
15 Cofiwch yn dragywydd ei gyfammod; y gair a orchymynodd efe i fil o genhedlaethau;
16 [d] Yr hwn a gyfammododd efe ag Abraham, a'i lw i Isaac: [d Gen. 17. 2. a 26. 3. a 28. 13. a 35. 11.]
17 Ac a osododd efe yn ddeddf i Jacob, ac yn gyfammod tragywyddol i Israel,
18 Gan ddywedyd, I ti y rhoddaf dir Canaan, † rhandir eich etifeddiaeth. [† Heb. *llinyn.*]
19 Pan nad oeddych ond ‡ ychydig, [e] ie ychydig, a dieithriaid ynddi; [‡ Heb. *gwŷr rhif.* e Gen. 34. 30.]
20 A *phan* rodient o genhedlaeth i genhedlaeth, ac o *un* frenhiniaeth at bobl eraill;
21 Ni adawodd efe i neb eu gorthrymmu: ond efe [f] a geryddodd frenhinoedd o'u plegid hwy, *gan ddywedyd*, [f Gen. 12. 17. a 20. 3. Exod. 7. 15.]

g Psal. 105. 15. 22 [g] Na chyffyrddwch â'm henneiniog, ac
na ddrygwch fy mhrophwydi.
h Psal. 96. 1. 23 [h] Cenwch i'r ARGLWYDD yr holl
ddaear: mynegwch o ddydd i ddydd ei
iachawdwriaeth ef.
24 Adroddwch ei ogoniant ef ym mhlith
y cenhedloedd; a'i wyrthiau ym mhlith yr
holl bobloedd.
25 Canys mawr *yw* 'r ARGLWYDD, a chan-
moladwy iawn: ofnadwy hefyd yw efe go-
ruwch yr holl dduwiau.
i Lef. 19. 4. 26 O herwydd holl dduwiau'r [i] bobloedd
*ydynt* eulunod; ond yr ARGLWYDD a wnaeth
y nefoedd.
27 Gogoniant a harddwch *sydd* ger ei fron
ef: nerth a gorfoledd yn ei fangre ef.
28 Moeswch i'r ARGLWYDD, chwi deulu-
oedd y bobloedd, moeswch i'r ARGLWYDD
ogoniant a nerth.
29 Moeswch i'r ARGLWYDD ogoniant ei
enw: dygwch aberth, a deuwch ger ei fron
ef; ymgrymmwch i'r ARGLWYDD mewn
prydferthwch sancteiddrwydd.
30 Ofnwch rhagddo ef yr holl ddaear: y
byd hefyd a sicrhêir, fel na syflo.
31 Ymlawenyched y nefoedd, ac ymhy-
fryded y ddaear; a dywedant ym mhlith y
cenhedloedd, Yr ARGLWYDD sydd yn teyr-
nasu.
32 Rhued y môr a'i gyflawnder; llawen-
hâed y maes, a'r hyn oll *y sydd* ynddo.
33 Yna prennau'r coed a ganant o flaen
yr ARGLWYDD, am ei fod yn dyfod i farnu'r
ddaear.
k Psal. 107. 1. a 118. 1. a 136. 1. 34 [k] Clodforwch yr ARGLWYDD; canys
da *yw*: o herwydd ei drugaredd *sydd* yn
dragywydd.
l Psal. 106. 47, 48. 35 A dywedwch, [l] Achub ni, O DDUW
ein hiachawdwriaeth, casgl ni hefyd, a
gwared ni oddi wrth y cenhedloedd, i folian-
nu dy enw sanctaidd di, *ac* i ymogoneddu
yn dy foliant.
36 Bendigedig *fyddo* ARGLWYDD DDUW
m Deut. 27. 15. Israel, o dragywyddoldeb hyd dragywyddol-
deb. A dywedodd yr holl [m] bobl, Amen,
gan foliannu 'r ARGLWYDD.
37 ¶ Ac efe a adawodd yno, o flaen arch
cyfammod yr ARGLWYDD, Asaph a'i frodyr,
i weini ger bron yr arch yn wastadol, gwaith
dydd yn ei ddydd:
38 Ac Obed-edom, a'u brodyr, wyth a
thri ugain; Obed-edom hefyd mab Jedu-
thun, a Hosah, i *fod* yn borthorion:
39 Sadoc yr offeiriad, a'i frodyr yr offei-
n Pen. 21. 29. riaid, o flaen [n] tabernacl yr ARGLWYDD,
2 Chron. 1. 3. [o] yn yr uchelfa *oedd* yn Gibeon,
40 I offrymmu poeth-offrymmau i'r AR-
o 1 Bren. 3. 4. GLWYDD ar allor y poeth-offrwm yn wasta-
dol [p] fore a hwyr, yn ol yr hyn oll *sydd*
p Exod. 29. 38. ysgrifenedig ynghyfraith yr ARGLWYDD,
Num. 28. 3. yr hon a orchymynodd efe i Israel:
41 A chyd â hwynt Heman, a Jeduthun,
a'r etholedigion eraill, y rhai a hyspysasid
wrth eu henwau, i foliannu 'r ARGLWYDD,
q 2 Chron. 5. 13. a 7. 3. [q] am *fod* ei drugaredd ef yn dragywydd:
42 A chyd â hwynt Heman, a Jeduthun,
Ezra 3. 11. yn lleisio ag udgyrn, ac â symbalau i'r
Jer. 33. 11. cerddorion, ac offer cerdd DUW: a meibion
Jeduthun *oedd* wrth y porth.
43 A'r holl bobl a aethant bob un i'w dŷ
ei hun: a Dafydd a ddychwelodd i fendigo
ei dŷ yntau.

## PEN. XVII.

1 *Nathan unwaith yn foddlon i arfeddyd Da-
fydd ar adeiladu tŷ i Dduw,* 3 *a chwedi
hynny, trwy air Duw, yn gwarafun iddo:*
11 *yn addo iddo fendithion a daioni yn ei
hâd.* 16 *Gweddi Dafydd a'i ddiolch.*

A [a] Phan oedd Dafydd yn trigo yn ei dŷ, Cylch
Dafydd a ddywedodd wrth Nathan y 1042.
prophwyd, Wele fi yn trigo mewn tŷ o gedr- a 2 Sam. 7.
wŷdd, ac arch cyfammod yr ARGLWYDD dan 1, &c.
gortynnau.
2 Yna Nathan a ddywedodd wrth Dda-
fydd, Gwna'r hyn oll *sydd* yn dy galon;
canys *y mae* DUW gyd â thi.
3 ¶ A'r noson honno y daeth gair DUW
at Nathan, gan ddywedyd,
4 Dos, a dywed wrth Ddafydd fy ngwas,
Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Nid
adeiledi di i mi dŷ i breswylio *ynddo*.
5 Canys ni phreswyliais i mewn tŷ er y
dydd y dygais i fynu Israel hyd y dydd hwn,
ond bûm o babell i babell, ac o dabernacl
*bwy gilydd*.
6 Ym mha *le* bynnag y rhodiais gyd â
holl Israel, a yngenais i air wrth un o farn-
wŷr Israel (i'r rhai y gorchymynaswn borthi
fy mhobl) gan ddywedyd, Pa ham nad adeil-
adasoch i mi dŷ o gedrwŷdd?
7 Ac yr awr hon fel hyn y dywedi wrth
Ddafydd fy ngwas, Fel hyn y dywed AR-
GLWYDD y lluoedd, Myfi a'th gymmerais
di o'r gorlan, oddi ar ol y praidd, i fod yn
dywysog ar fy mhobl Israel.
8 A bûm gyd â thi, i ba le bynnag y
rhodiaist, torrais ymaith hefyd dy holl
elynion o'th flaen, a gwneuthum enw i ti
megis enw y gwŷr mawr *sydd* ar y ddaear.
9 Gosodaf hefyd i'm pobl Israel le, ac
a'u plannaf, a hwy a drigant yn eu lle, ac
ni symmudir hwynt mwyach; a meibion
anwiredd ni 'chwanegant eu cystuddio:
(megis yn y cyntaf,
10 Ac er y dyddiau y gorchymynais i
farnwŷr *fod* ar fy mhobl Israel) darostyngaf
hefyd dy holl elynion di, a mynegaf i ti yr
adeilada'r ARGLWYDD i ti dŷ.
11 ¶ A bydd pan gyflawner dy ddyddiau
di i fyned at dy dadau, y cyfodaf dy hâd ar
dy ol di, yr hwn a fydd o'th feibion di, a
mi a sicrhâf ei deyrnas ef.
12 Efe a adeilada i mi dŷ, a minnau a
sicrhâf ei deyrn-gadair ef byth.
13 [b] Myfi a fyddaf iddo ef yn dad, ac b 2 Sam. 7.
yntau fydd i mi yn fab, a'm trugaredd ni 14.
thynnaf oddi wrtho ef, megis y tynnais oddi
wrth yr hwn a fu o'th flaen di.
14 Ond [c] mi a'i gosodaf ef yn fy nhŷ, ac c Luc 1.
yn fy nheyrnas byth; a'i deyrn-gadair ef a 33.
sicrhêir byth.
15 Yn ol yr holl eiriau hyn, ac yn ol yr
holl weledigaeth hon, felly y llefarodd Na-
than wrth Ddafydd.
16 ¶ A daeth Dafydd y brenhin, ac a
eisteddodd ger bron yr ARGLWYDD, ac a
ddywedodd, Pwy *ydwyf* fi, O ARGLWYDD
DDUW, a pheth *yw* fy nhŷ, pan ddygit fi
hyd yma?
17 Etto bychan *yw* hyn yn dy olwg di,
O DDUW; canys dywedaist am dŷ dy was
dros hir o amser, a thi a edrychaist arnaf
(O ARGLWYDD DDUW) fel ar gyflwr dŷn
uchel-radd.
18 Pa beth a 'chwanega Dafydd *ei ddy-
wedyd* wrthyt mwyach am anrhydedd dy
was? canys ti a adwaenost dy was.
19 O ARGLWYDD, er mwyn dy was,
ac yn ol dy feddwl dy hun, y gwnaethost
yr holl fawredd hyn, i ddangos pob mawr-
edd.

20 O ARGLWYDD, nid *oes neb* fel tydi, ac nid *oes* DUW ond tydi, yn ol yr hyn oll a glywsom â'n clustiau.

21 A pha un genedl ar y ddaear *sydd* megis dy bobl Israel, yr hon yr aeth Duw i'w gwaredu yn bobl iddo ei hun, i osod i ti enw mawr ac ofnadwy, gan fwrw allan genhedloedd o flaen dy bobl, y rhai a waredaist ti o'r Aipht?

22 Ti hefyd a wnaethost dy bobl Israel yn bobl i ti byth: a thi, ARGLWYDD, a aethost yn DDUW iddynt hwy.

23 Am hynny yr awr hon, ARGLWYDD, y gair a lefaraist am dy was, ac am ei dŷ ef, poed sicr fyddo byth: gwna fel y llefaraist.

24 A phoed sicr fyddo, fel y mawrhaer dy enw yn dragywydd, gan ddywedyd, ARGLWYDD y lluoedd, Duw Israel, *sydd* DDUW i Israel: a *bydded* tŷ Ddafydd dy was yn sicr ger dy fron di.

25 Canys ti, O fy Nuw, a † ddywedaist i'th was, yr adeiladit ti dŷ iddo ef: am hynny y cafodd dy was weddïo ger dy fron di.

[† Heb. *ddadguddiaist glust dy was.*]

26 Ac yr awr hon, ARGLWYDD (ti ydwyt DDUW, a thi a lefaraist am dŷ dy was, y daioni hwn)

27 Yn awr gan hynny ‡ bid wiw gennyt fendigo tŷ dy was, i fod ger dy fron yn dragywydd: am i ti, O ARGLWYDD, ei fendigo, bendigedig *fydd* yn dragywydd.

[‡ Neu, *bu.*]

## PEN. XVIII.

1 *Dafydd yn darostwng y Philistiaid a'r Moabiaid; 3 yn taro Hadarezer a'r Syriaid. 9 Tou yn danfon Hadoram ag anrhegion i fendithio Dafydd; 11 ac yntau yn cyssegru'r anrhegion a'r yspail i Dduw; 13 yn gosod amddiffynfeydd yn Edom. 14 Swyddogion Dafydd.*

[Cylch 1040.]

A [a] Darfu wedi hyn, i Ddafydd daro'r Philistiaid, a'u darostwng hwynt, a dwyn Gath a'i phentrefydd o law'r Philistiaid.

[a 2 Sam. 8. 1, &c.]

2 Hefyd efe a darawodd Moab; a'r Moabiaid a fuant weision i Ddafydd, yn dwyn treth.

3 ¶ Tarawodd Dafydd hefyd † Hadarezer brenhin Sobah *hyd* Hamath, pan oedd efe yn myned i sicrhau ei lywodraeth wrth afon Euphrates.

[† Neu, *Hadadezer,* 2 Sam. 8. 3.]

4 A Dafydd a ddug oddi arno ef fil o gerbydau, a saith mil o wŷr meirch, ac ugain mil o wŷr traed; a thorrodd Dafydd linynnau garr *meirch* yr holl gerbydau, ond efe a adawodd o honynt gan cerbyd.

5 A phan ddaeth y Syriaid o Ddamascus i gynnorthwyo Hadarezer brenhin Sobah, Dafydd a laddodd o'r Syriaid ddwy fil ar hugain o wŷr.

6 A gosododd Dafydd *amddiffynfeydd* yn Syria Damascus: a bu'r Syriaid yn weision i Ddafydd, yn dwyn treth. A'r ARGLWYDD a waredodd Ddafydd i ba le bynnag yr aeth.

7 A Dafydd a gymmerodd y tariannau aur oedd gan weision Hadarezer, ac a'u dug hwynt i Jerusalem.

8 Dug Dafydd hefyd o ‡ Tibhath, ac o Chun, dinasoedd Hadarezer, lawer iawn o bres, â'r hwn y gwnaeth [b] Salomon y môr pres, a'r colofnau, a'r llestri pres.

[‡ A elwir yn llyfr Samuel, *Beta a Berothai.*]
[b 1 Bren. 7. 23. 2 Chron. 4. 15.]

9 ¶ A phan glybu § Tou brenhin Hamath daro o Ddafydd holl lu Hadarezer brenhin Sobah;

[§ Neu, *Toi,* 2 Sam. 8. 9.]

10 Efe a anfonodd at y brenhin Dafydd ‖ Hadoram ei fab, â phob llestri aur, ac arian, a phres, *gyd ag ef,* i ymofyn am ei iechyd ef, ac i'w fendithio ef, am iddo ryfela yn erbyn Hadarezer a'i daro ef: canys † rhyfela yr oedd Hadarezer *yn erbyn* Tou.

[‖ Neu, *Joram,* 2 Sam. 8. 10.]
[† Heb. *rhyfelwr oedd.*]

11 ¶ Y rhai hynny hefyd a gyssegrodd y brenhin Dafydd i'r ARGLWYDD, gyd â'r arian a'r aur a ddygasai efe oddi ar yr holl genhedloedd, *sef* oddi ar Edom, ac oddi ar Moab, ac oddi ar feibion Ammon, ac oddi ar y Philistiaid, ac oddi ar Amalec.

12 Ac Abisai mab Serfiah a [c] laddodd o Edom, yn nyffryn yr halen, dair mil ar bymtheg.

[c 2 Sam. 8. 13.]

13 ¶ Ac efe a osododd amddiffynfeydd yn Edom, a'r holl Edomiaid a fuant weision i Ddafydd. A'r ARGLWYDD a gadwodd Ddafydd i ba le bynnag yr aeth efe.

14 ¶ A Dafydd a deyrnasodd ar holl Israel, ac yr oedd efe yn gwneuthur barn a chyfiawnder i'w holl bobl.

15 A Joab mab Serfiah *oedd* ar y llu; a Jehosaphat mab Ahilud yn gofiadur;

16 A Sadoc mab Ahitub, ac ‡ Abimelech mab Abiathar, *oedd* offeiriaid; a § Safsa yn ysgrifenydd;

[‡ 2 Sam. 8. 17. *Ahimelech.*]
[§ A elwir *Seraiah,* 2 Sam. 8. 17. a *Sisa,* 1 Bren. 4. 3.]

17 Benaiah hefyd mab Jehoiada *oedd* ar y Cerethiaid a'r Pelethiaid; a meibion Dafydd *oedd* y rhai pennaf wrth law'r brenhin.

## PEN. XIX.

1 *Traha Hanun â'r cenhadau a ddanfonasai Dafydd i'w gysuro ef am ei dad. 6 Yr Ammoniaid yn cael nerth gan y Syriaid; a Joab ac Abisai yn eu gorchfygu hwynt. 16 Sophach yn cael cymmorth etto gan y Syriaid; a Dafydd yn ei ladd ef.*

[Cylch 1037.]

AC ar ol hyn [a] y bu i Nahas brenhin meibion Ammon farw; a'i fab a deyrnasodd yn ei le ef.

[a 2 Sam. 10. 1, &c.]

2 A Dafydd a ddywedodd, Gwnaf garedigrwydd â Hanun fab Nahas, o herwydd gwnaeth ei dad â myfi garedigrwydd. Ac anfonodd Dafydd genhadau i'w gysuro ef am ei dad. A gweision Dafydd a ddaethant i wlad meibion Ammon, at Hanun, i'w gysuro ef.

3 A thywysogion meibion Ammon a ddywedasant wrth Hanun, Ai anrhydeddu dy dad di y mae Dafydd † yn dy dŷb di, am iddo anfon cysurwŷr attat ti? onid i chwilio, ac i ddifetha, ac i droedio'r wlad, y daeth ei weision ef attat ti?

[† Heb. *yn dy olwg di.*]

4 Yna y cymmerth Hanun weision Dafydd, ac a'u heilliodd hwynt, ac a dorrodd eu dillad hwynt yn eu hanner, wrth eu cluniau, ac a'u gyrrodd hwynt ymaith.

5 A hwy a aethant, ac a fynegasant i Ddafydd am y gwŷr. Ac efe a anfonodd i'w cyfarfod hwynt: (canys y gwŷr oedd wedi cywilyddio yn fawr.) A dywedodd y brenhin, Trigwch yn Jericho hyd oni thyfo eich barfau; yna dychwelwch.

6 ¶ Yna meibion Ammon a welsant ddarfod iddynt eu gwneuthur eu hunain ‡ yn gas gan Ddafydd; ac anfonodd Hanun a meibion Ammon fil o dalentau arian, i gyflogi iddynt gerbydau a marchogion o Mesopotamia, ac o Syria-maachah, ac o Sobah.

[‡ Heb. *i ddrewi.*]

7 A chyflogasant iddynt ddeuddeng mil ar hugain o gerbydau, a brenhin Maachah a'i bobl; y rhai a ddaethant, ac a wersyllasant o flaen Medeba. A meibion Ammon

hefyd a ymgasglasant o'u dinasoedd, ac a
ddaethant i ryfel.
Cylch 1037. 8 A phan glybu Dafydd, efe a anfonodd
Joab, a holl lu y cedyrn.
9 A meibion Ammon a aethant allan, ac
a ymfyddinasant *wrth* borth y ddinas: a'r
brenhinoedd y rhai a ddelsai *oedd* o'r neilldu
yn y maes.
10 A phan ganfu Joab fod wyneb y rhyfel
yn ei erbyn ef ym mlaen ac yn ol, efe a
† Neu, *wŷr ieuaingc.* etholodd o holl † etholedigion Israel, ac a'*u*
byddinodd *hwynt* yn erbyn y Syriaid.
11 A gweddill y bobl a roddes efe dan law
Abisai ei frawd; a hwy a ymfyddinasant yn
erbyn meibion Ammon.
12 Ac efe a ddywedodd, Os trech *fydd* y
Syriaid nâ mi, yna bydd di yn gynhorthwy
i mi: ond os meibion Ammon a fyddant
trech nâ thi, yna mi a'th gynnorthwyaf
dithau.
13 Bydd rymmus, ac ymŵrolwn dros ein
pobl, a thros ddinasoedd ein Duw; a
gwnaed yr ARGLWYDD yr hyn *fyddo* da yn
ei olwg ef.
14 Yna y nesaodd Joab, a'r bobl *oedd* gyd
ag ef, yn erbyn y Syriaid i'r rhyfel; a hwy
a ffoisant o'i flaen ef.
15 A phan welodd meibion Ammon ffoi
o'r Syriaid, hwythau hefyd a ffoisant o flaen
Abisai ei frawd ef, ac a aethant i'r ddinas:
a Joab a ddaeth i Jerusalem.
1036. 16 ¶ A phan welodd y Syriaid eu lladd o
flaen Israel, hwy a anfonasant genhadau, ac
a ddygasant allan y Syriaid y rhai *oedd* o'r
‡ Sef, *Euphrates.* tu hwnt i'r ‡ afon; a § Sophach capten llu
§ Neu, *Sobach,* 2 Sam. 10. 16. Hadarezer *oedd* o'u blaen hwynt.
17 A mynegwyd i Ddafydd; ac efe a
gasglodd holl Israel, ac a aeth dros yr Ior-
ddonen, ac a ddaeth arnynt hwy, ac a ym-
fyddinodd yn eu herbyn hwynt. A phan
ymfyddinodd Dafydd yn erbyn y Syriaid,
hwy a ryfelasant ag ef.
18 Ond y Syriaid a ffoisant o flaen Israel;
a lladdodd Dafydd o'r Syriaid saith mil *o*
*wŷr yn ymladd* mewn cerbydau, a deugain
mil o wŷr traed, ac a laddodd Sophach cap-
ten y llu.
19 A phan welodd gweision Hadarezer
eu lladd o flaen Israel, hwy a heddychasant
â Dafydd, a gwasanaethasant ef: ac ni
fynnai'r Syriaid gynnorthwyo meibion Am-
mon mwyach.

## PEN. XX.

1 *Joab yn gwarchae ar Rabbah, a Dafydd yn ei hanrheithio hi, ac yn arteithio ei phobl.* 4 *Lladd tri chawr mewn tair câd yn erbyn y Philistiaid.*

Cylch 1035. [a] DARFU hefyd † wedi gorphen y flwy-
a 2 Sam. 11. 1. ddyn, yn amser myned o'r brenhin-
oedd allan *i ryfela,* arwain o Joab gadernid
† Heb. *ar ddychweliad y flwyddyn.* y llu, ac anrheithio gwlad meibion Am-
mon, ac efe a ddaeth ac a warchaeodd ar
Rabbah: (ond Dafydd a arhosodd yn Je-
rusalem) a Joab a darawodd Rabbah, ac a'i
dinystriodd hi.
b 2 Sam. 12. 30. 2 A [b] chymmerth Dafydd goron eu
Cylch 1033. brenhin hwynt oddi am ei ben, a chafodd
hi o bwys talent o aur, ac ynddi feini
gwerthfawr, a hi a roed am ben Dafydd:
ac efe a ddug anrhaith fawr iawn o'r
ddinas.
3 A'r bobl *oedd* ynddi a ddug efe allan,
ac a'*u* torrodd *hwynt* â llifiau, ac ag ogau
heiyrn, ac â bwyill: ac fel hyn y gwnaeth
Dafydd â holl ddinasoedd meibion Am-
mon. A dychwelodd Dafydd a'r holl bobl Cylch
i Jerusalem. 1018.
4 ¶ Ac ar ol hyn [c] y ‡ cyfododd rhyfel c 2 Sam. 21. 18.
yn § Gezer yn erbyn y Philistiaid: yna ‡ Neu, *parhaodd.*
[d] Sibbechai yr Husathiad a laddodd † Sip- † Heb. *safodd.*
pai *yr hwn oedd* o feibion || y cawr; felly y
darostyngwyd hwynt.
5 A bu drachefn ryfel yn erbyn y Phi- § Neu, *Gob.*
listiaid, ac Elhanan mab † Jair a ladd- d Pen. 11. 29.
odd Lami, brawd Goliath y Gethiad, a e 2 Sam. 21.
phaladr ei waywffon ef *oedd* fel carfan 18, *Saph.*
gwehydd. || Neu, *Rapha.*
6 [f] Bu hefyd drachefn ryfel yn Gath, ac † A elwir
yr oedd gwr ‡ hir, a'i fysedd *oeddynt* bob yn *Jaare-*
chwech a chwech, *sef* pedwar ar hugain; *oregim,*
yntau hefyd a anesid i'r § cawr. 2 Sam. 21. 19.
7 Ond pan ddifenwodd efe Israel, Jona- f 2 Sam. 21.
than mab || Simea frawd Dafydd a'i lladd- 20.
odd ef. ‡ Heb.
8 Y rhai hyn a anwyd i'r cawr yn Gath, *o fesur.*
ac a laddwyd trwy law Dafydd, a thrwy § Neu, *Rapha.*
law ei weision ef. || A elwir *Samma,* 1 Sam. 16. 9.

## PEN. XXI.

1 *Dafydd, wedi ei demtio gan Satan, yn gyrru Joab i rifo'r bobl,* 5 *a chwedi dwyn cyfrif y bobl atto, yn edifar gantho hynny,* 9 *ac yn cael ei ddewis o dair pla, ac yn dewis haint y nodau,* 14 *ac wedi marw deng mil a thrugain o'r bobl, trwy edifeirwch, yn achub dinystr Jerusalem.* 18 *Dafydd, trwy gyngor Gad, yn prynu llawr-dyrnu Ornan, ac yn gwneuthur yno allor, a Duw trwy dân yn rhoi iddo arwydd o'i ffafr, ac yn attal y bla.* 28 *Dafydd yn aberthu yno, wedi ei attal gan angel rhag myned i Gibeon.*

A [a] Satan a safodd i fynu yn erbyn Is- 1017.
rael, ac a annogodd Ddafydd i gyfrif a 2 Sam. 24.
Israel. 1, &c.
2 A dywedodd Dafydd wrth Joab, ac
wrth bennaethiaid y bobl, Ewch, cyfrifwch
Israel o Beerseba hyd Ddan; a dygwch
attaf fi, fel y gwypwyf eu rhifedi hwynt.
3 A dywedodd Joab, Chwaneged yr AR-
GLWYDD ei bobl yn gan cymmaint ag
*ydynt:* O fy arglwydd frenhin, onid gweis-
ion i'm harglwydd *ydynt* hwy oll? pa ham
y cais fy arglwydd hyn? pa hâm y bydd efe
yn achos camwedd i Israel?
4 Ond gair y brenhin a fu drech nâ Joab:
a Joab a aeth allan, ac a dramwyodd trwy
holl Israel, ac a ddaeth i Jerusalem.
5 ¶ A rhoddes Joab nifer rhifedi'r bobl
i Ddafydd. A holl Israel oedd fil o filoedd
a chan mil o wŷr yn tynnu cleddyf; a Ju-
dah *oedd* bedwar can *mil* a deng mil a thru-
gain o wŷr yn tynnu cleddyf.
6 Ond [b] Lefi a Benjamin ni chyfrifasai b 2 Chron.
efe yn eu mysg hwynt; canys ffiaidd oedd 27. 24.
gan Joab air y brenhin.
7 A bu ddrwg † y peth hyn yngolwg Duw, † Neu, *o*
ac efe a darawodd Israel. *herwydd y peth hyn.*
8 A Dafydd a ddywedodd wrth DDUW,
[c] Pechais yn ddirfawr, o herwydd im' c 2 Sam.
wneuthur y peth hyn: [d] ac yr awr hon, 24. 10.
dilea, attolwg, anwiredd dy was, canys d 2 Sam.
gwneuthum yn ynfyd iawn. 12. 13.
9 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth
Gad, [e] gweledydd Dafydd, gan ddywedyd, e Edrych
10 Dos, a llefara wrth Ddafydd, gan ddy- 1 Sam. 9.
wedyd, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, 9.
Tri pheth yr ydwyf fi yn eu ‡ gosod o'th ‡ Heb.
flaen di; dewis i ti un o honynt, a mi a'i *estyn.*
gwnaf i ti.
11 Yna Gad a ddaeth at Ddafydd, ac a

ddywedodd wrtho, Fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD, Cymmer i ti
12 *Naill* ai tair blynedd o newyn; ai *dy*
ddifetha dri mis o flaen dy wrthwyneb-
wŷr, a chleddyf dy elynion yn *dy* oddi-
weddyd; ai ynte cleddyf yr ARGLWYDD,
sef haint y nodau yn y tir dri diwrnod, ac
angel yr ARGLWYDD yn dinystrio trwy
holl derfynau Israel. Ac yr awr hon edrych
pa air a ddygaf drachefn i'r hwn a'm han-
fonodd.
13 A Dafydd a ddywedodd wrth Gad, Y
mae'n gyfyng iawn arnaf fi; syrthiwyf,
attolwg, yn llaw'r ARGLWYDD (canys ei
drugareddau ef *ydynt* aml iawn) ac na
syrthiwyf yn llaw dyn.
14 ¶ Yna y rhoddes yr ARGLWYDD haint
y nodau ar Israel: a syrthiodd o Israel
ddeng mil a thrugain *mil* o wŷr.
[f] 2 Sam. 24. 16. 15 A Duw a anfonodd [f] angel i Jerusalem
i'w dinystrio hi: ac fel yr oedd yn ei
dinystrio, yr ARGLWYDD a edrychodd, ac
[g] Edrych Gen. 6. 6. [g] a edifarhaodd am y drwg, ac a ddywed-
odd wrth yr angel oedd yn dinystrio, Digon
bellach, attal dy law. Ac angel yr AR-
GLWYDD oedd yn sefyll wrth lawr-dyrnu
† 2 Sam. 24. 16, 18, *Arafnah.* † Ornan y Jebusiad.
16 A Dafydd a ddyrchafodd ei lygaid, ac
[h] 2 Chron. 3. 1. [h] a ganfu angel yr ARGLWYDD yn sefyll
rhwng y ddaear a'r nefoedd, a'i gleddyf
noeth yn ei law wedi ei estyn tu a Jerusalem.
A syrthiodd Dafydd a'r henuriaid (*y rhai
oedd* wedi ymwisgo mewn sachliain) ar eu
hwynebau.
17 A Dafydd a ddywedodd wrth DDUW,
Onid myfi a ddywedais am gyfrif y bobl?
a mi yw'r hwn a bechais, ac a wneuthum
fawr ddrwg; ond y defaid hyn, beth a
wnaethant hwy? Fy ARGLWYDD DDUW,
bydded, attolwg, dy law arnaf fi, ac ar dŷ
fy nhad, ac nid yn bla ar dy bobl.
[i] 2 Chron. 3. 1. 18 ¶ Yna [i] angel yr ARGLWYDD a ar-
chodd i Gad ddywedyd wrth Ddafydd, am
fyned o Ddafydd i fynu i gyfodi allor i'r AR-
GLWYDD yn llawr-dyrnu Ornan y Jebusiad.
19 A Dafydd a aeth i fynu, yn ol gair
Gad, yr hwn a lefarasai efe yn enw'r AR-
GLWYDD.
‡ Neu, *Pan drodd Ornan, a chanfod, &c. yna efe a'i bedwar, &c.* 20 ‡ Yna y trodd Ornan, ac a ganfu'r
angel, a'i bedwar mab gyd ag ef a ym-
guddiasant; ac Ornan oedd yn dyrnu
gwenith.
21 A Dafydd a ddaeth at Ornan; ac
edrychodd Ornan, ac a ganfu Ddafydd,
ac a aeth allan o'r llawr-dyrnu, ac a ym-
grymmodd i Ddafydd, â'i wyneb tu a'r
ddaear.
22 A dywedodd Dafydd wrth Ornan,
Moes i mi le y llawr-dyrnu, fel yr adeil-
adwyf ynddo allor i'r ARGLWYDD: dyro
ef i mi am *ei* lawn werth; fel yr attalier y
bla oddi wrth y bobl.
23 Ac Ornan a ddywedodd wrth Dda-
fydd, Cymmer i ti, a gwnaed fy arglwydd
frenhin yr hyn *fyddo* da yn ei olwg. Wele,
rhoddaf yr ychen yn boeth-offrwm, a'r offer
dyrnu yn gynnud, a'r gwenith yn fwyd-
offrwm: hyn oll a roddaf.
24 A'r brenhin Dafydd a ddywedodd wrth
Ornan, Nid *felly*, ond gan brynu y prynaf
ef am *ei* lawn werth: canys ni chymmeraf
i'r ARGLWYDD yr eiddot ti, ac nid offrym-
maf boeth-offrwm yn rhad.
[k] 2 Sam. 24. 24. 25 Felly [k] y rhoddes Dafydd i Ornan am
y lle chwe chan sicl o aur wrth bwys.
26 Ac yno'r adeiladodd Dafydd allor
i'r ARGLWYDD, ac a offrymmodd boeth-
offrymmau, ac ebyrth hedd, ac a alwodd ar
yr ARGLWYDD; ac [l] efe a'i hattebodd ef o'r [l] Lef. 9. 24. 2 Chron. 3. 1.
nefoedd trwy dân ar allor y poeth-offrwm.
27 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth yr
angel; ac yntau a roes ei gleddyf yn ei wain
drachefn.
28 ¶ Y pryd hynny, pan ganfu Dafydd
ddarfod i'r ARGLWYDD wrando arno ef yn
llawr-dyrnu Ornan y Jebusiad, efe a aber-
thodd yno.
29 Ond tabernacl yr ARGLWYDD, yr hon
a wnelsai Moses yn yr anialwch, ac allor y
poeth-offrwm, *oedd* y pryd hynny yn yr
uchelfa yn [m] Gibeon. [m] 1 Bren. 3. 4.
30 Ac ni allai Dafydd fyned o'i blaen hi Pen. 16. 39.
i ymofyn â DUW; canys ofnasai rhag 2 Chron. 1. 3.
cleddyf angel yr ARGLWYDD.

## PEN. XXII.

1 *Dafydd wedi gwybod y lle yr adeiledid y
deml, yn parottôi llawer o ddefnyddiau i'w
hadeilad hi.* 6 *Dafydd yn dysgu i Salomon
addewidion Duw, a'i ddyled wrth adeil-
adu'r deml,* 17 *ac yn gorchymyn i'r tywy-
sogion ei gynnorthwyo ef.*

A Dywedodd Dafydd, [a] Hwn yw tŷ'r Cylch 1017.
ARGLWYDD DDUW, a dyma allor y
poeth-offrwm i Israel. [a] Deut. 12. 5.
2 Dywedodd Dafydd hefyd am [b] gasglu'r 2 Sam. 24. 18.
dieithriaid *oedd* yn nhir Israel; ac efe a
osododd seiri meini i naddu cerrig nadd, i [b] 1 Bren. 9. 21.
adeiladu tŷ DDUW.
3 A pharottôdd Dafydd haiarn yn helaeth,
tu ag at hoelion drysau'r pyrth, ac i'r cys-
sylltiadau, a phres mor helaeth ag [c] nad *oedd* [c] Adn. 14.
*arno* bwys;
4 Coed cedr hefyd allan o rif: canys y
Sidoniaid a'r Tyriaid a ddygent gedrwŷdd
lawer i Ddafydd.
5 A dywedodd Dafydd, [d] Salomon fy [d] Pen. 29. 1.
mab *sydd* ieuangc a thyner, a'r tŷ a adeil-
edir i'r ARGLWYDD, *rhaid iddo fod* mewn
mawredd, mewn rhagoriaeth, mewn enw, ac
mewn gogoniant, trwy'r holl wledydd: pa-
rottoaf yn awr tu ag atto ef. Felly y pa-
rottôdd Dafydd yn helaeth cyn ei farwol-
aeth.
6 ¶ Ac efe a alwodd ar Salomon ei fab,
ac a orchymynodd iddo adeiladu tŷ i AR-
GLWYDD DDUW Israel.
7 Dywedodd Dafydd hefyd wrth Salo-
mon, Fy mab, [e] yr oedd yn fy mryd i adeil- [e] 2 Sam. 7. 2.
adu tŷ [f] i enw'r ARGLWYDD fy NUW.
8 Eithr gair yr ARGLWYDD a ddaeth [f] Deut. 12. 5, 11.
attaf fi, gan ddywedyd, [g] Gwaed lawer a [g] 1 Bren. 5. 3.
dywelltaist ti, a rhyfeloedd mawrion a
wnaethost ti: nid adeiledi di dŷ i'm henw Pen. 28. 3.
i, canys gwaed lawer a dywelltaist ar y
ddaear yn fy ngŵydd i.
9 Wele, mab a enir i ti, efe a fydd wr
llonydd, a mi a roddaf lonyddwch iddo ef
gan ei holl elynion o amgylch: canys † Sa- † Sef, *heddychlon.*
lomon fydd ei enw ef, heddwch hefyd a
thangnefedd a roddaf i Israel yn ei ddydd-
iau ef.
10 [h] Efe a adeilada dŷ i'm henw, ac [i] efe [h] 2 Sam. 7. 13.
a fydd i mi yn fab, a minnau yn dad iddo 1 Bren. 5. 5.
yntau: sicrhâf hefyd orseddfa ei frenhin- Pen. 17. 12, 13.
iaeth ef ar Israel byth.
11 Yn awr fy mab, [k] yr ARGLWYDD [i] Heb. 1. 5.
fyddo gyd â thi, a ffynna dithau, ac adeilada [k] Adn. 16.
dŷ'r ARGLWYDD dy DDUW, megis ag y
llefarodd efe am danat ti.
12 Yn unig rhodded yr ARGLWYDD i
ti ddoethineb, a deall, a rhodded it' orchy-

mynion am Israel, fel y cadwech gyfraith
yr ARGLWYDD dy DDUW.
13 Yna y ffynni, os gwyli ar wneuthur y
deddfau a'r barnedigaethau a orchymyn-
odd yr ARGLWYDD i Moses am Israel.
[l] Dent. 31. 7, 8. Jos. 1. 6, 7, 9. [l] Ymgryfhâ, ac ymwrola; nac ofna, ac na
arswyda.
14 Ac wele, yn fy † nhlodi y parottoais
† Neu, mhralloed. i dŷ 'r ARGLWYDD gan mil o dalentau aur,
a mil o filoedd o dalentau arian; ar bres
[m] Adn. 3. hefyd, ac ar haiarn, [m] nid oes bwys; (canys
y mae yn helaeth) coed hefyd a meini
a barottoais i: ychwanega dithau attynt
hwy.
15 Hefyd y mae yn aml gyd â thi weith-
wŷr gwaith, sef cymynwŷr, a seiri maen
a phren, a phob rhai celfydd ym mhob
gwaith.
16 Ar aur, ar arian, ar bres, ac ar haiarn,
nid oes rifedi. Cyfod dithau, a gweithia, a'r
[n] Adn. 11. [n] ARGLWYDD a fydd gyd â thi.
17 ¶ A Dafydd a orchymynodd i holl dy-
wysogion Israel gynnorthwyo Salomon ei
fab, gan ddywedyd,
18 Onid yw'r ARGLWYDD eich DUW
gyd â chwi? ac oni roddes efe lonyddwch
i chwi oddi amgylch? canys rhoddes yn fy
llaw i drigolion y tir; a'r tir a ddarostyng-
wyd o flaen yr ARGLWYDD, ac o flaen ei
bobl ef.
19 Yn awr rhoddwch eich calon a'ch
enaid i geisio'r ARGLWYDD eich DUW;
cyfodwch hefyd, ac adeiledwch gyssegr
yr ARGLWYDD DDUW, i ddwyn arch
cyfammod yr ARGLWYDD, a sanctaidd
lestri DUW, i'r tŷ a adeiledir i enw'r AR-
GLWYDD.

## PEN. XXIII.

1 *Dafydd yn ei henaint yn gwneuthur Salomon*
*yn frenhin.* 2 *Rhifedi a dosparthiadau'r*
*Lefiaid.* 7 *Teuluoedd y Gersoniaid.* 12
*Meibion Cohath.* 21 *Meibion Merari.* 24
*Swydd y Lefiaid.*

1015. A Phan oedd Dafydd yn hen, ac yn llawn
[a] 1 Bren. 1. 33—39. Pen. 28. 5. o ddyddiau, efe a osododd [a] Salomon ei
fab yn frenhin ar Israel.
2 ¶ Ac efe a gynhullodd holl dywysogion
Israel, a'r offeiriaid, a'r Lefiaid.
Cylch 1015. 3 A'r Lefiaid a gyfrifwyd o fab [b] deng-
mlwydd ar hugain, ac uchod: a'u nifer
[b] Num. 4. 3, 47. hwy wrth eu pennau, bob yn wr, oedd onid
dwy fil deugain.
4 O'r rhai yr oedd pedair mil ar hugain
[c] Deut. 16. 18. i oruchwylio ar waith tŷ'r ARGLWYDD;
ac [c] yn swyddogion, ac yn farnwŷr, chwe
[d] Edrych 2 Chron. 29. 25. Amos 6. 5. mil:
5 A phedair mil yn borthorion, a phe-
dair mil yn moliannu'r ARGLWYDD â'r offer
[e] Exod. 6. 16. Num. 26. 57. Pen. 6. 1, &c. 2 Chron. 8. 14. a 29. 25. [d] a wnelswn i, eb Dafydd, i foliannu.
6 A [e] dosparthodd Dafydd hwynt yn
ddosparthiadau ym mysg meibion Lefi, sef
Gerson, Cohath, a Merari.
7 ¶ O'r [f] Gersoniaid yr oedd † Laadan, a
Simei.
[f] Pen. 26. 21. 8 Meibion Laadan; y pennaf Jehïel, a
Zetham, a Joël, tri.
† Neu, Libni, Pen. 6. 17. 9 Meibion Simei; Selomith, a Haziel, a
Haran, tri. Y rhai hyn oedd bennau cenedl
Laadan.
‡ Neu, Zizah, adn. 11. 10 Meibion Simei hefyd oedd, Jahath,
‡ Zina, a Jeus, a Berïah. Dyma bedwar
§ Heb. amlhasant feibion. mab Simei.
11 A Jahath oedd bennaf, a Zizah yn ail:
ond Jeus a Berïah nid § oedd nemmawr o
feibion iddynt; am hynny yr oeddynt hwy
yn un cyfrif, wrth dŷ eu tad.
12 ¶ [g] Meibion Cohath; Amram, Isbar, [g] Exod. 6. 18.
Hebron, ac Uzziel, pedwar.
13 Meibion [h] Amram oedd, Aaron, a Mo- [h] Exod. 6. 20.
ses: ac [i] Aaron a neillduwyd i sancteiddi-
io'r cyssegr sancteiddiolaf, efe a'i feib- [i] Exod. 28. 1.
ion byth, i arogl-darthu ger bron yr AR- Heb. 5. 4.
GLWYDD, i'w wasanaethu ef, ac [k] i fendigo [k] Num. 6. 23.
yn ei enw ef yn dragywydd.
14 A Moses gwr DUW, [l] ei feibion ef a [l] Edrych Pen. 26. 23, 24, 25.
alwyd yn llwyth Lefi.
15 [m] Meibion Moses oedd, Gersom, ac
Eliezer. [m] Exod. 2. 22. a 18. 3, 4.
16 O feibion Gersom; [n] ‖ Sebuel oedd y
pennaf. [n] Pen. 26. 24.
17 A meibion Eliezer oedd, [o] Rehabïah
y † cyntaf. Ac i Eliezer nid oedd meibion ‖ Subael, Pen. 24. 20.
eraill; ond meibion Rehabïah a amlhasant [o] Pen. 26. 25.
yn ddirfawr.
18 O feibion Isbar; ‡ Selomith y pennaf. † Neu, pennaf.
19 [p] O feibion Hebron; Jerïah y cyntaf,
Amarïah 'r ail, Jahaziel y trydydd, a Jeca- ‡ Pen. 24. 22, Selomoth.
meam y pedwerydd.
20 O feibion Uzzïel; Michah y cyntaf, a [p] Pen. 24. 23.
Jesïah 'r ail.
21 ¶ [q] Meibion Merari oedd, Mali, a Musi. [q] Pen. 24. 26.
Meibion Mali; Eleazar, a [r] Chis.
22 A bu farw Eleazar, a [s] meibion nid [r] Pen. 24. 29.
oedd iddo ef, ond merched; a meibion Cis
eu § brodyr [t] a'u priododd hwynt. [s] Pen. 24. 28.
23 [u] Meibion Musi; Mali, ac Eder, a
Jerimoth, tri. § Neu, ceraint.
24 ¶ Dyma feibion [x] Lefi, yn ol tŷ eu
tadau, pennau eu cenedl, wrth eu rhifedi, [t] Edrych Num. 36. 6, 8.
dan nifer eu henwau wrth eu pennau, y rhai
oedd yn gwneuthur y gwaith i wasanaeth [u] Pen. 24. 30.
tŷ 'r ARGLWYDD, o fab [y] ugain mlwydd ac
uchod. [x] Num. 10. 17, 21.
25 Canys dywedodd Dafydd, ARGLWYDD
DDUW Israel a roddes lonyddwch i'w bobl, [y] Num. 8. 24. a 4. 3.
‖ i aros yn Jerusalem byth; ‖ Neu, ac y mae yn aros.
26 A hefyd i'r Lefiaid: ni ddygant mwy-
ach y tabernacl, na dim o'i lestri, i'w wasa-
naeth ef.
27 Canys yn ol geiriau diweddaf Dafydd
y cyfrifwyd meibion Lefi, o fab ugain
mlwydd ac uchod:
28 A'u † gwasanaeth hwynt oedd i fod † Heb. sefyllfa.
wrth law meibion Aaron yngweinidogaeth
tŷ'r ARGLWYDD, yn y cynteddau, ac yn
y celloedd, ac ym mhuredigaeth pob sanct-
eidd-beth, ac yngwaith gweinidogaeth tŷ
DDUW;
29 Yn [z] y bara gosod hefyd, ac ym [z] Exod. 25. 30.
[a] mheilliaid y bwyd-offrwm, ac yn [b] y
teisenau croyw, yn [c] y ‡ radell hefyd, ac [a] Lef. 6. 20. Pen. 9. 29, &c.
yn y badell ffrïo, ac ym mhob [d] mesur a
meidroldeb: [b] Lef. 2. 4.
30 Ac i sefyll bob bore i foliannu ac i [c] Lef. 2. 5, 7.
ogoneddu'r ARGLWYDD, felly hefyd bryd
nawn: ‡ Neu, badell.
31 Ac i offrymmu pob offrwm poeth i'r
ARGLWYDD [e] ar y Sabbothau, ar y ne- [d] Lef. 19. 35.
wydd-loerau, ac ar y gwyliau gosodedig,
wrth rifedi, yn ol y ddeddf sydd arnynt yn [e] Num. 10. 10.
wastadol ger bron yr ARGLWYDD. Psal. 81. 3.
32 Ac i gadw goruchwyliaeth pabell y
cyfarfod, ac i goruchwyliaeth y cyssegr, a [f] Num. 3. 6, 9.
[f] goruchwyliaeth meibion Aaron eu brodyr,
yngwasanaeth tŷ'r ARGLWYDD.

## PEN. XXIV.

1 *Dosparthu meibion Aaron yn 24 o ddospar-*
*thiadau wrth goelbren.* 20 *Rhannu'r Co-*
*hathiaid* 27 *a'r Meraryaid wrth goelbren.*

Cylch 1015.

DYMA ddosparthiadau meibion Aaron. [a] Meibion Aaron *oedd*, Nadab, ac Abihu, Eleazar, ac Ithamar.

2 A bu farw [b] Nadab ac Abihu o flaen eu tad, ac nid oedd meibion iddynt: am hynny Eleazar ac Ithamar a offeiriadasant.

3 A Dafydd a'u dosparthodd hwynt, Sadoc o feibion Eleazar, ac Ahimelech o feibion Ithamar, yn ol eu swyddau, yn eu gwasanaeth.

4 A chafwyd mwy o feibion Eleazar yn llywodraethwŷr nag o feibion Ithamar; ac *fel hyn* y rhannwyd hwynt. *Yr ydoedd* o feibion Eleazar yn bennau ar dŷ *eu* tadau un ar bymtheg, ac o feibion Ithamar, yn ol tŷ eu tadau, wyth.

5 Felly y dosparthwyd hwynt wrth goelbrennau, y naill gyd â'r llall; canys tywysogion y cyssegr, a thywysogion *tŷ* DDUW, oedd o feibion Eleazar, ac o feibion Ithamar.

6 A Semaiah mab Nethaneel yr ysgrifennydd, o *lwyth* Lefi, a'u hysgrifennodd hwynt ger bron y brenhin, a'r tywysogion, a Sadoc yr offeiriad, ac Ahimelech mab Abiathar, a phen cenedl yr offeiriaid, a'r Lefiaid; un † teulu a ddaliwyd i Eleazar, ac *un arall* a ddaliwyd i Ithamar.

7 A'r coelbren cyntaf a ddaeth i Jehoiarib, a'r ail i Jedaiah,

8 Y trydydd i Harim, y pedwerydd i Seorim,

9 Y pummed i Malchïah, y chweched i Mijamin,

10 Y seithfed i Haccos, yr wythfed i [c] Abïah,

11 Y nawfed i Jesua, y degfed i Sechanïah,

12 Yr unfed ar ddeg i Eliasib, y deuddegfed i Jacim,

13 Y trydydd ar ddeg i Huppah, y pedwerydd ar ddeg i Jesebeab,

14 Y pymthegfed i Bilgah, yr unfed ar bymtheg i Immer,

15 Y ddeufed ar bymtheg i Hezir, y deunawfed i Aphses,

16 Y pedwerydd ar bymtheg i Pethahïah, yr ugeinfed i Jehesecel,

17 Yr unfed ar hugain i Jachin, y ddeufed ar hugain i Gamul,

18 Y trydydd ar hugain i Ddelaiah, y pedwerydd ar hugain i Maazïah.

19 Dyma eu dosparthiadau hwynt yn eu gwasanaeth, [d] i fyned i dŷ'r ARGLWYDD yn ol eu defod, dan law Aaron eu tad, fel y gorchymynasai ARGLWYDD DDUW Israel iddo ef.

20 ¶ A'r lleill o feibion Lefi *oedd y rhai hyn.* O feibion Amram; [e] Subael: o feibion Subael; Jehdeiah.

21 Am [f] Rehabïah; Isïah *oedd* ben ar feibion Rehabïah.

22 O'r Isariaid; [g] Selomoth: o feibion Selomoth; Jahath.

23 A meibion [h] *Hebron oedd,* Jerïah *y cyntaf,* Amarïah yr ail, Jahaziel y trydydd, *a* Jecameam y pedwerydd.

24 O feibion Uzzïel; Michah: o feibion Michah; Samir.

25 Brawd Michah *oedd* Isïah: o feibion Isïah; Zecharïah.

26 [i] Meibion Merari *oedd,* Mali, a Musi: meibion Jaazïah; Beno.

27 ¶ Meibion Merari o Jaazïah; Beno, a Soham, a Zaccur, ac Ibri.

28 O Mali *y daeth* Eleazar, ac [k] ni bu iddo ef feibion.

29 Am Cis: mab Cis *oedd* Jerameel.

[a] Lef. 10. 1, 6. [b] Num. 3. 4. a 26. 61. † Heb. *tŷ tad.* [c] Neh. 12. 4, 17. Luc 1. 5. [d] Pen. 9. 25. [e] Pen. 23. 16, *Sebuel.* [f] Pen. 23. 17. [g] Pen. 23. 18, *Selomith.* [h] Pen. 23. 19. a 26. 31. [i] Exod. 6. 19. Pen. 23. 21. [k] Pen. 23. 22.

30 [l] A meibion Musi *oedd,* Mali, ac Eder, a Jerimoth. Dyma feibion y Lefiaid yn ol tŷ eu tadau.

31 A hwy a fwriasant goelbrennau ar gyfer eu brodyr meibion Aaron, ger bron Dafydd y brenhin, a Sadoc, ac Ahimelech, a phennau cenedl yr offeiriaid a'r Lefiaid, *ie* y pen cenedl ar gyfer y brawd ieuangaf.

## PEN. XXV.

1 *Rhifedi a swyddau'r cantorion.* 8 *Eu dosparthu hwy yn bedwar dosparthiad ar hugain.*

Cylch 1015.

A Neillduodd Dafydd, a thywysogion y llu, tu ag at y gwasanaeth, o feibion [a] Asaph, a Heman, a Jeduthun, y rhai a brophwydent â thelynau, ac â nablau, ac â symbalau; a nifer y gweithwŷr yn ol eu gwasanaeth ydoedd:

2 O feibion Asaph; Zaccur, a Joseph, a Nethanïah, † Asarelah, meibion Asaph, dan law Asaph, *yr hwn* oedd yn prophwydo wrth law'r brenhin.

3 O Jeduthun: meibion Jeduthun; Gedalïah, a ‡ Seri, a Jesaiah, a Hasabïah, Mattithïah, § chwech, dan law Jeduthun eu tad, ar y delyn yn prophwydo, i foliannu ac i glodfori'r ARGLWYDD.

4 O Heman: meibion Heman; Buccïah, Mattanïah, ‖ Uzzïel, † Sebuel, a Jerimoth, Hananïah, Hanani, Eliathah, Gidalti, a Romamti-ezer, Josbecasah, Malothi, Hothir, *a* Mahazioth:

5 Y rhai hyn oll *oedd* feibion Heman, gweledydd y brenhin ‡ yngeiriau DUW, i ddyrchafu'r corn. DUW hefyd a roddes i Heman bedwar ar ddeg o feibion, a thair o ferched.

6 Y rhai hyn oll *oedd* dan law eu tad yn canu *yn* nhŷ'r ARGLWYDD, â symbalau, *a* nablau, a thelynau, i wasanaeth tŷ DDUW; [b] yn ol § trefn y brenhin i Asaph, a Jeduthun, a Heman.

7 A'u nifer hwynt, ynghŷd â'u brodyr dysgedig ynghaniadau'r ARGLWYDD, *sef* pob *un* cyfarwydd, oedd ddau cant pedwar ugain ac wyth.

8 ¶ A hwy a fwriasant goelbrennau, cylch yn erbyn *cylch,* bychan a mawr, [c] athraw a disgybl.

9 A'r coelbren cyntaf a ddaeth dros Asaph i Joseph: yr ail i Gedalïah; efe, a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

10 Y trydydd i Zaccur; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

11 Y pedwerydd i Isri; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

12 Y pummed i Nethanïah; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

13 Y chweched i Buccïah; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

14 Y seithfed i Jesarelah; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

15 Yr wythfed i Jesaiah; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

16 Y nawfed i Mattanïah; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

17 Y degfed i Simei; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

18 Yr unfed ar ddeg i Azareel; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

19 Y deuddegfed i Hasabïah; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

20 Y trydydd ar ddeg i Subael; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

21 Y pedwerydd ar ddeg i Mattithïah; *efe,* a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.

[l] Pen. 23. 23. [a] Pen. 6. 33, 39, 44. † *Jesarelah,* adn. 14. ‡ Neu, *Isri,* adn. 11. § *trwy gyfrif Simei,* adn. 17. ‖ Neu, *Azareel,* adn. 18. † Neu, *Subael,* adn. 20. ‡ Neu, *yn achosion.* [b] Adn. 2. § Heb. *llaw.* [c] 2 Chron. 23. 13.

22 Y pymthegfed i Jerimoth; *efe*, a'i feib-
ion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
23 Yr unfed ar bymtheg i Hananïah; *efe*,
a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
24 Y ddeufed ar bymtheg i Josbecasah;
*efe*, a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
25 Y deunawfed i Hanani; *efe*, a'i feib-
ion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
26 Y pedwerydd ar bymtheg i Màlothi;
*efe*, a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
27 Yr ugeinfed i Eliathah; *efe*, a'i feib-
ion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
28 Yr unfed ar hugain i Hothir; *efe*, a'i
feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
29 Y ddeufed ar hugain i Gìdalti; *efe*, a'i
feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
30 Y trydydd ar hugain i Mahazioth; *efe*,
a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeuddeg.
31 Y pedwerydd ar hugain i Romamti-
ezer; *efe*, a'i feibion a'i frodyr *oedd* ddeu-
ddeg.

## PEN. XXVI.

1 *Dosparthiadau'r porthorion.* 13 *Rhannu iddynt y pyrth wrth goelbren.* 20 *Y Lefiaid y rhai oedd ar y trysorau.* 29 *Swyddogion a barnwŷr.*

Cylch 1015. AM ddosparthiad y porthorion: O'r Corhï-
aid *yr oedd* † Meselemïah mab Core, o
† Neu, *Selemïah*, adn. 14. feibion ‡ Asaph.
2 A meibion Meselemïah *oedd*, Zecharïah
‡ Neu, *Abïasaph*, Pen. 6. 37. a 9. 19. y cyntaf-anedig, Jediael yr ail, Zebadïah y
trydydd, Jathniel y pedwerydd,
3 Elam y pummed, Jehohanan y chwech-
ed, Elioënai y seithfed.
4 A meibion Obed-edom; Semaiah y
cyntaf-anedig, Jehozabad yr ail, Joah y
trydydd, a Sachar y pedwerydd, a Netha-
neel y pummed,
§ Heb. *Issaschar* 5 Ammiel y chweched, § Issachar y seith-
fed, Peulthai yr wythfed: canys Duw a'i
‖ Sef, *Obed-edom*, bendithiodd ‖ ef.
6 Ac i Semaiah ei fab ef y ganwyd meib-
Pen. 13. 14. ion, y rhai a arglwyddiaethasant ar dŷ eu
tad: canys cedyrn o nerth *oeddynt* hwy.
7 Meibion Semaiah; Othni, a Rephael,
ac Obed, Elzabad, ei frodyr ef *oedd* wŷr
nerthol, *sef* Elihu, a Semachïah.
8 Y rhai hyn oll o feibion Obed-edom:
hwynt-hwy, a'u meibion, a'u brodyr, yn wŷr
nerthol mewn cryfdwr, tu ag at y weinidog-
aeth, *oedd* dri ugain a dau o Obed-edom.
9 Ac i Meselemïah, yn feibion ac yn
frodyr, *yr oedd* tri ar bymtheg o wŷr nerthol.
[a] Pen. 16. 38. 10 O [a] Hosah hefyd, o feibion Merari, yr
oedd meibion; Simri y pennaf (er nad
oedd efe gyntaf-anedig, etto ei dad a'i
gosododd ef yn ben)
11 Hilcïah yr ail, Tebalïah y trydydd, Ze-
charïah y pedwerydd: holl feibion a brodyr
Hosah *oedd* dri ar ddeg.
12 Ym mhlith y rhai hyn yr *oedd* dos-
parthiadau'r porthorion, *sef* ym mhlith y
pennaethiaid, *ac iddynt* oruchwyliaeth ar
gyfer eu brodyr i wasanaethu yn nhŷ'r
ARGLWYDD.
† Neu, *dros fychan.* 13 ¶ A hwy a fwriasant goelbrennau, † fy-
chan a mawr, yn ol tŷ eu tadau, am bob porth.
‡ Neu, *Meselemïah*, adn. 1. 14 A choelbren ‡ Selemïah a syrthiodd
tu a'r dwyrain: a *thros* Zecharïah ei fab
(cynghorwr deallgar) y bwriasant hwy
§ Sef, *cynhullfan.* goelbrennau; a'i goelbren ef a ddaeth tu
a'r gogledd.
15 I Obed-edom tu a'r dehau, ac i'w
‖ Gwel 1 Bren. 10. 5. feibion, *y daeth* tŷ § Asuppim.
2 Chron. 9. 4, 11. 16 I Suppim, a Hosah, tu a'r gorllewin,
gyd â phorth Sàlecheth, yn ffordd y ‖ rhiw,
*yr oedd* y naill oruchwyliaeth ar gyfer y
llall.
17 Tu a'r dwyrain *yr oedd* chwech o Le-
fiaid, tu a'r gogledd pedwar beunydd, tu a'r
dehau pedwar beunydd, a thu ag Asuppim
dau *a* dau.
18 A Pharbar tu a'r gorllewin, pedwar
ar y ffordd, *a* dau yn Pharbar.
19 Dyma ddosparthiadau'r porthorion, o
feibion Core, ac o feibion Merari.
20 ¶ Ac o'r Lefiaid, Ahïah *oedd* ar [b] dry- [b] Mal. 3.
sorau tŷ DDUW, ac ar drysorau'r pethau 10.
cyssegredig.
21 *Am* feibion † Laadan: meibion y Ger- † Neu, *Libni*,
soniad Laadan, pennau tylwyth Laadan y Pen. 6. 17.
Gersoniad, *oedd* ‡ Jehieli. ‡ Neu, *Jehïel*,
22 Meibion Jehieli; Zetham, a Joël ei Pen. 23. 8.
frawd, *oedd* ar drysorau tŷ'r ARGLWYDD. a 29. 8.
23 O'r Amramiaid, *a'r* Ishariaid, *o'r* He-
broniaid, *a'r* Uzzieliaid:
24 A [c] Sebuel mab Gersom, mab Moses, [c] Pen. 23.
*oedd* olygwr ar y trysorau. 16.
25 A'i frodyr ef o Eleazar; Rehabïah ei
fab ef, a Jesaiah ei fab yntau, a Joram ei fab
yntau, a Zichri ei fab yntau, a [d] Selomith [d] Pen. 23.
ei fab yntau. 18.
26 Y Selomith hwnnw a'i frodyr *oedd* ar
holl drysorau'r pethau cyssegredig a gys-
segrasai Dafydd frenhin, a'r tadau pennaf, a
thywysogion y miloedd a'r cannoedd, a
thywysogion y llu.
27 O'r rhyfeloedd ac o'r yspail y cyssegr-
asant *bethau* i gynnal tŷ'r ARGLWYDD.
28 A'r hyn oll a gyssegrodd Samuel [e] y [e] 1 Sam. 9.
gweledydd, a Saul mab Cis, ac Abner mab 9.
Ner, a Joab mab Serfiah, *a* phwy bynnag
a gyssegrasai *ddim, yr oedd efe* dan law
Selomith a'i frodyr.
29 ¶ O'r Ishariaid, Cenanïah a'i feibion
*oedd* yn Israel [f] yn swyddogion, ac yn [f] Pen. 23. 4.
farnwŷr, ar y gwaith oddi allan.
30 O'r Hebroniaid, Hasabïah a'i frodyr,
meibion nerthol, mil a saith gant *oedd* mewn
swydd *yn* Israel, o'r tu hwnt i'r Iorddonen
tu a'r gorllewin, yn holl waith yr AR-
GLWYDD, ac yngwasanaeth y brenhin.
31 O'r Hebroniaid, [g] Jerïah *oedd* ben o'r [g] Pen. 23.
Hebroniaid, yn ol cenhedlaethau ei dadau: 19.
yn y ddeugeinfed flwyddyn o deyrnasiad
Dafydd y ceisiwyd hwynt, a chafwyd yn
eu mysg hwy *wŷr* cryfion nerthol, [h] yn [h] Edrych
Jazer Gilead. Jos. 21. 39.
32 A'i frodyr ef yn feibion nerthol *oedd*
ddwy fil a saith gant o bennau cenedl: a
Dafydd y brenhin a'u gosododd hwynt ar y
Reubeniaid, a'r Gadiaid, a hanner llwyth
Manasseh, ym mhob gorchwyl Duw, a
[i] gorchwyl y brenhin. [i] 2 Chron. 19. 11.

## PEN. XXVII.

1 *Y deuddeg tywysog am bob mis.* 16 *Pennaethiaid y deuddeg llwyth.* 23 *Rhwystro cyfrif y bobl.* 25 *Amryw swyddogion Dafydd.*

PEDAIR mil ar hugain *oedd* bob dosparth- Cylch
iad o feibion Israel dan eu rhif, yn ben- 1015.
nau cenedl, ac yn dywysogion miloedd a
channoedd, a'u swyddogion yn gwasanaeth-
u'r brenhin ym mhob achos o'r dosparth-
iadau, yn dyfod i mewn, ac yn myned allan,
o fis i fis, trwy holl fisoedd y flwyddyn.
2 Ar y dosparthiad cyntaf, dros y mis cyn-
taf, *yr oedd* [a] Jasobeam mab Zabdiel; ac yn [a] 2 Sam. 23.
ei ddosparthiad ef *yr oedd* pedair mil ar 8.
hugain. Pen. 11. 11.
3 O feibion Peres *yr oedd* y pennaf o holl
dywysogion y llu dros y mis cyntaf.

† Neu, *Dodo,* 2 Sam. 23. 9. 4 Ac ar ddosparthiad yr ail mis *yr oedd* † Dodai'r Ahohiad, ac o'i ddosparthiad ef *yr oedd* Micloth hefyd yn gapten: ac yn ei ddosparthiad ef bedair mil ar hugain.

‡ Neu, *swyddog.* 5 Trydydd tywysog y llu dros y trydydd mis *oedd* Benaiah mab Jehoiada yr ‡ offeiriad pennaf; ac yn ei ddosparthiad ef bedair mil ar hugain.

[b] 2 Sam. 23. 20, 22, 23. Pen. 11. 22, &c. 6 Y Benaiah hwn *oedd* [b] gadarn *ym mhlith* y deg ar hugain, ac oddi ar y deg ar hugain; ac yn ei ddosparthiad ef *yr oedd* Ammizabad ei fab ef.

[c] 2 Sam. 23. 24. Pen. 11. 26. 7 Y pedwerydd dros y pedwerydd mis *oedd* [c] Asahel brawd Joab, a Zebadïah ei fab ar ei ol ef; ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil ar hugain.

8 Y pummed dros y pummed mis *oedd* dywysog, Samhuth yr Izrahïad; ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil ar hugain.

[d] Pen. 11. 28. 9 Y chwechcd dros y chwechcd mis *oedd* [d] Ira mab Icces § Tecoad; ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil ar hugain.

§ Pen. 11. 28. *Tecoiad.* [e] Pen. 11. 27. 10 Y seithfed dros y seithfed mis *oedd* [e] Heles y Peloniad, o feibion Ephraim; ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil ar hugain.

[f] 2 Sam. 21. 18. 11 Yr wythfed dros yr wythfed mis *oedd* [f] Sibbechai 'r Husathiad, o'r Zarhïaid; ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil ar hugain.

[g] Pen. 11. 28. ‖ Pen. 11. 28, *Anthothiad.* 12 Y nawfed dros y nawfed mis *oedd* [g] Abïezer yr ‖ Anathothiad, o'r Benjaminiaid; ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil ar hugain.

[h] 2 Sam. 23. 28. 13 Y degfed dros y degfed mis *oedd* [h] Maharai y Netophathiad, o'r Zarhïaid; ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil ar hugain.

[i] Pen. 11. 31. 14 Yr unfed ar ddeg dros yr unfed mis ar ddeg *oedd* [i] Benaiah y Pirathoniad, o feibion Ephraim; ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil ar hugain.

† Neu, *Heled,* Pen. 11. 30. 15 Y deuddegfed dros y deuddegfed mis *oedd* † Heldai y Netophathiad, o Othniel; ac yn ei ddosparthiad ef pedair mil ar hugain.

16 ¶ Ac ar lwythau Israel: ar y Reubeniaid, Eliezer mab Zichri *oedd* dywysog: ar y Simeoniaid, Sephatïah mab Maachah:

[k] Pen. 26. 30. 17 Ar y Lefiaid, [k] Hasabïah mab Cemuel: ar yr Aaroniaid, Sadoc:

[l] 1 Sam. 16. 6, *Eliah.* ‡ Heb. *Issachar.* 18 Ar Judah, [l] Elihu, *un* o frodyr Dafydd: ar ‡ Issachar, Omri mab Michael:

19 Ar Zabulon, Ismaiah mab Obadïah: ar Naphtali, Jerimoth mab Azrïel:

20 Ar feibion Ephraim, Hosea mab Azazïah: ar hanner llwyth Manasseh, Joël mab Pedaïah:

21 Ar hanner *llwyth* Manasseh yn Gilead, Ido mab Zecharïah: ar Benjamin, Jaasiel mab Abner:

22 Ar Ddan, Azarïel mab Jeroham. Dyma dywysogion llwythau Israel.

[m] Gen. 15. 5. 23 ¶ Ond ni chymmerth Dafydd eu rhifedi hwynt o fab ugain mlwydd ac isod; canys [m] dywedasai 'r ARGLWYDD yr amlhâi efe Israel megis ser y nefoedd.

[n] 2 Sam. 24. 15. Pen. 21. 7. 24 Joab mab Serfiah a ddechreuodd gyfrif, ond ni orphenodd efe, am fod o achos hyn [n] llidiowgrwydd yn erbyn Israel, ac nid aeth y cyfrif hwn ym mysg cyfrifon chronicl y brenhin Dafydd.

25 ¶ Ac ar drysorau'r brenhin *yr oedd* Azmafeth mab Adiel: ac ar y trysordai yn y meusydd, yn y dinasoedd, yn y pentrefi hefyd, ac yn y tyrau, *yr oedd* Jehonathan mab Uzzïah.

26 Ac ar weithwŷr y maes, *y rhai oedd* yn llafurio'r ddaear, *yr oedd* Ezri mab Celub.

27 Ac ar y gwinllannoedd *yr oedd* Simei y Ramathiad: ac ar yr hyn *oedd* yn *dyfod* o'r gwinllannoedd i'r selerau gwin, *yr oedd* Zabdi y Siphmiad.

28 Ac ar yr olewŷdd, a'r sycomorwŷdd, y rhai *oedd* yn y dyffrynoedd, *yr oedd* Baalhanan y Gederiad: ac ar y selerau olew *yr oedd* Joas.

29 Ac ar yr ychen pasgedig yn Saron, *yr oedd* Setrai y Saroniad: ac ar yr ychen yn y dyffrynoedd, *yr oedd* Saphat mab Adlai.

30 Ac ar y camelod *yr oedd* Obil yr Ismaeliad: ac ar yr asynod Jedeiah y Meronothiad.

31 Ac ar y defaid *yr oedd* Jaziz yr Hageriad. Y rhai hyn oll *oedd* dywysogion y golud eiddo'r brenhin Dafydd.

32 A Jehonathan ewythr Dafydd frawd ei dad oedd gynghorwr, gwr doeth, ac ysgrifenydd: Jehïel hefyd § mab Hachmoni *oedd* gyd â meibion y brenhin. § Neu, *yr Hachmoniad.*

33 Ac [o] Ahitophel *oedd* gynghorwr y brenhin; a [p] Husai'r Arciad *oedd* gyfaill y brenhin. [o] 2 Sam. 15 12. [p] 2 Sam. 15. 37.

34 Ac ar ol Ahitophel *yr oedd* Jehoiada mab Benaiah, ac Abiathar: a thywysog llu y brenhin *oedd* [q] Joab. a 16. 17. [q] Pen. 11. 6.

## PEN. XXVIII.

1 *Dafydd, yngŵydd yr holl bobl, yn datcan daioni Duw iddo ef, a'i addewid i'w fab Salomon, ac yn eu hannog hwynt i ofni Duw: 9, 20 yn rhoi cysur yn Salomon i adeiladu'r deml; 11 yn dangos iddo ei dull a'i phortreiad hi, ac yn rhoddi iddo aur ac arian i'w gwneuthur hi.*

A Dafydd a gynhullodd holl dywysogion Israel, [a] tywysogion y llwythau, a [b] thywysogion y dosparthiadau, y rhai oedd yn gwasanaethu'r brenhin, tywysogion y miloedd hefyd, a thywysogion y cannoedd, a [c] thywysogion holl olud † a meddiant y brenhin, a'i feibion, gyd â'r ‡ ystafellyddion, a'r [d] cedyrn, a phob un grymmusol o nerth, i Jerusalem. Cylch 1015. [a] Pen. 27. 16. [b] Pen. 27. 1, 2. [c] Pen. 27. 25. † Neu, *anifeiliaid.* ‡ Neu, *eunuchiaid.*

2 A chyfododd Dafydd y brenhin ar ei draed, ac a ddywedodd, Gwrandêwch arnaf fi, fy mrodyr, a'm pobl; [e] Myfi *a feddyliais* yn fy nghalon adeiladu tŷ gorphwysfa i arch cyfammod yr ARGLWYDD, ac i [f] 'stôl-draed ein DUW ni, a mi a barottoais i'w adeiladu. [d] Pen. 11. 10. [e] 2 Sam. 7. 2. [f] Psal. 99. 5. a 132. 7.

3 Ond DUW a ddywedodd wrthyf, [g] Nid adeiledi di dŷ i'm henw i, canys rhyfelwr *fuost,* a gwaed a dywelltaist. [g] 2 Sam. 7. 5, 13. 1 Bren. 5. 3.

4 Er hynny ARGLWYDD DDUW Israel a'm hetholodd i o holl dŷ fy nhad, i fod yn frenhin ar Israel yn dragywydd: canys [h] Judah a ddewisodd efe yn llywiawdr; ac o dŷ Judah, [i] tŷ fy nhad i, ac [k] o feibion fy nhad, efe a fynnai i mi deyrnasu ar holl Israel: Pen. 22. 8. [h] Gen. 49. 8. Pen. 5. 2. Psal. 60. 7. a 78. 68.

5 [l] Ac o'm holl feibion innau (canys llawer o feibion a roddes yr ARGLWYDD i mi) efe hefyd a ddewisodd Salomon fy mab, i eistedd ar orseddfa brenhiniaeth yr ARGLWYDD, ar Israel. [i] 1 Sam. 16. 1. [k] 1 Sam. 16. 12. [l] Pen. 23. 1.

6 Dywedodd hefyd wrthyf, [m] Salomon dy fab, efe a adeilada fy nhŷ a'm cynteddau i; canys dewisais ef yn fab i mi, a minnau a fyddaf iddo ef yn dad. [m] 2 Sam. 7. 13, 14. Pen. 22. 9. 2 Chron. 1. 9.

7 A'i frenhiniaeth ef a sicrhâf yn dragywydd, os efe a ymegnïa i wneuthur fy ngorchymynion a'm barnedigaethau i, megis y dydd hwn.

8 Yn awr gan hynny, yngŵydd holl Israel, cynnulleidfa'r ARGLWYDD, a lle y clywo ein Duw ni, cedwch a cheisiwch holl orchymynion yr ARGLWYDD eich Duw, fel y meddiannoch y wlad dda *hon*, ac y gadawoch hi yn etifeddiaeth i'ch meibion ar eich ol yn dragywydd.

9 ¶ A thithau Salomon fy mab, adnebydd DDUW dy dad, a gwasanaetha ef â chalon berffaith, ac â meddwl ewyllysgar: canys yr [n] ARGLWYDD sydd yn chwilio'r holl galonnau, ac yn deall pob dychymmyg meddyliau. O cheisi ef, ti a'i cai; ond os gwrthodi ef, efe a'th fwrw di ymaith yn dragywydd.

10 Gwel yn awr mai'r ARGLWYDD a'th ddewisodd di i adeiladu tŷ y cyssegr: ymgryfhâ, a gwna.

11 ¶ Yna y rhoddes Dafydd i Salomon ei fab [o] bortreiad y porth, a'i dai, a'i selerau, a'i gellau, a'i ystafelloedd oddi fewn, a thŷ'r drugareddfa,

12 A phortreiad yr hyn oll a oedd ganddo trwy'r yspryd, am gynteddau tŷ'r ARGLWYDD, ac am yr holl ystafelloedd o amgylch, am drysorau tŷ DDUW, ac am drysorau'r pethau cyssegredig:

13 Ac am ddosparthiadau yr offeiriaid a'r Lefiaid, ac am holl waith gweinidogaeth tŷ'r ARGLWYDD, ac am holl lestri gwasanaeth tŷ'r ARGLWYDD.

14 *Efe a roddes* o aur wrth bwys, *i'r pethau* o aur tu ag at holl lestri pob gwasanaeth, *ac arian* i'r holl lestri arian, mewn pwys, tu ag at holl lestri pob math ar wasanaeth:

15 Sef pwys y canhwyllbrenni aur, a'u lampau aur, wrth bwys i bob canhwyllbren ac i'w lampau: ac i'r canhwyllbrennau arian wrth bwys, i'r canhwyllbren ac i'w lampau, yn ol gwasanaeth pob canhwyllbren.

16 Aur hefyd *dan* bwys, tu ag at fyrddau'r *bara* gosod, i bob bwrdd; ac arian i'r byrddau arian;

17 Ac aur pur i'r cigweiniau, ac i'r phïolau, ac i'r dysglau, ac i'r gorflychau aur, wrth bwys pob gorflwch: ac i'r gorflychau arian wrth bwys pob gorflwch;

18 Ac i allor yr arogl-darth, aur pur wrth bwys; ac aur i bortreiad cerbyd [p] y cerubiaid oedd yn ymledu, ac yn gorchuddio arch cyfammod yr ARGLWYDD.

19 Hyn oll, *eb Dafydd,* [q] a wnaeth yr ARGLWYDD i mi ei ddeall mewn ysgrifen, trwy *ei* law ef arnaf fi, *sef* holl waith y portreiad hwn.

20 A dywedodd Dafydd wrth Salomon ei fab, [r] Ymgryfhâ, ac ymegnïa, a gweithia; nac ofna, ac na arswyda: canys yr ARGLWYDD DDUW, fy NUW i, *fydd* gyd â thi; nid ymedy efe â thi, ac ni'th wrthyd, nes gorphen holl waith gwasanaeth tŷ'r ARGLWYDD.

21 Wele hefyd ddosparthiadau'r offeiriaid a'r Lefiaid, i holl wasanaeth tŷ DDUW, a chyd â thi *y maent* yn yr holl waith, a [s] phob un ewyllysgar cywraint i bob gwasanaeth; y tywysogion hefyd a'r bobl oll *fyddant* wrth dy orchymyn yn gwbl.

[n] 1 Sam. 16. 7. 1 Bren. 8. 39. Pen. 29. 17. Psal. 7. 9. a 139. 2. Diar. 17. 3. Jer. 11. 20. a 17. 10. a 20. 12. Dat. 2. 23.
[o] Edrych Exod. 25. 40. adn. 19.
[p] 1 Sam. 4. 4. 1 Bren. 6. 23, &c.
[q] Edrych Exod. 25. 40.
[r] Deut. 31. 7, 8. Jos. 1. 6, 7, 9. Pen. 22. 13.
[s] Exod. 35. 25, 26. a 36. 1, 2.

## PEN. XXIX.

1 *Dafydd trwy ei esampl ei hun, a'i eiriol,* 6 *yn peri i'r tywysogion ac i'r bobl offrymmu yn ewyllysgar.* 10 *Diolch Dafydd a'i weddi.* 20 *Y bobl, wedi bendithio Duw, ac aberthu iddo, yn gwneuthur Salomon yn frenhin.* 26 *Yr hyd y teyrnasodd Dafydd, a'i farwolaeth ef.*

YNA y dywedodd Dafydd y brenhin 1015.
wrth yr holl dyrfa, Duw a ddewisodd yn unig fy mab Salomon, *ac y mae efe* [a] yn ieuangc, ac yn dyner, a'r gwaith *sydd* fawr; canys nid i ddyn *y mae*'r llŷs, ond i'r ARGLWYDD DDUW.

2 Ac â'm holl gryfdwr y parottoais i dŷ fy NUW, aur i'r *gwaith* aur, ac arian i'r arian, a phres i'r pres, a haiarn i'r haiarn, a choed i'r *gwaith* coed; [b] meini onix, a *meini* gosod, meini carbunculus, ac o amryw liw, a phob maen gwerthfawr, a meini marmor yn aml.

3 Ac etto am *fod* fy ewyllys tu a thŷ fy NUW, y mae gennyf o'm heiddo fy hun, aur ac arian, *yr hwn* a roddaf tu ag at dŷ fy NUW; heb law'r hyn oll a barottoais tu a'r tŷ sanctaidd:

4 Tair mil o dalentau aur, o aur [c] Ophir; a saith mil o dalentau arian puredig, i oreuro parwydydd y tai:

5 Yr aur i'r *gwaith* aur, a'r arian i'r arian; a thu ag at yr holl waith, trwy law y rhai celfydd. Pwy hefyd a ymrŷdd yn ewyllysgar i † ymgyssegru heddyw i'r ARGLWYDD?

6 ¶ Yna tywysogion y teuluoedd, a thywysogion llwythau Israel, a thywysogion y miloedd a'r cannoedd, a [d] swyddogion gwaith y brenhin, a offrymmasant yn ewyllysgar,

7 Ac a roddasant tu ag at wasanaeth tŷ DDUW, bûm mil o dalentau aur, a deng mil o sylltau, a deng mil o dalentau arian, a deunaw mil o dalentau pres, a chan mil o dalentau haiarn.

8 A chyd â'r hwn y caid meini, hwy a'u rhoddasant i drysor tŷ'r ARGLWYDD, trwy law [e] Jehïel y Gersoniad.

9 A'r bobl a lawenhasant pan offrymment o'u gwirfodd; am eu bod â chalon berffaith yn ewyllysgar yn offrymmu i'r ARGLWYDD: a Dafydd y brenhin hefyd a lawenychodd â llawenydd mawr.

10 ¶ Yna y bendithiodd Dafydd yr ARGLWYDD yngŵydd yr holl dyrfa, a dywedodd Dafydd, Bendigedig *wyt* ti, ARGLWYDD DDUW Israel, ein tad ni, o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb.

11 [f] I ti, ARGLWYDD, *y mae* mawredd, a gallu, a gogoniant, a goruchafiaeth, a harddwch: canys y cwbl yn y nefoedd ac yn y ddaear *sydd* eiddot ti; y deyrnas *sydd* eiddot ti, ARGLWYDD, yr hwn hefyd a ymddyrchefaist yn ben ar bob peth.

12 Cyfoeth hefyd ac anrhydedd a *ddeuant* oddi wrthyt ti, a thi sydd yn arglwyddiaethu ar bob peth, ac yn dy law di *y mae* nerth a chadernid; yn dy law di hefyd *y mae* mawrhâu, a nerthu pob dim.

13 Ac yn awr, ein Duw ni, yr ydym ni yn dy foliannu, ac yn clodfori dy enw gogoneddus.

14 Eithr pwy *ydwyf* fi, a phwy *yw* fy mhobl i, fel y caem ni rŷm i offrymmu yn ewyllysgar fel hyn? canys oddi wrthyt ti *y mae* pob peth, ac o'th law dy hun y rhoisom i ti.

15 O herwydd [g] dïeithriaid *ydym* ni ger dy fron di, ac alltudion fel ein holl dadau: [h] fel cysgod *yw* ein dyddiau ni ar y ddaear, ac nid *oes* ‡ ymaros.

[a] Pen. 22. 5. Diar. 4. 1.
[b] Edrych Esay 54. 11, 12. Dat. 21. 18, &c.
[c] 1 Bren. 9. 28.
† Heb. *lenwi ei law.*
[d] Pen. 27. 25, &c.
[e] Pen. 26. 21.
[f] Mat. 6. 13. 1 Tim. 1. 17. Dat. 5. 13.
[g] Psal. 39. 12. Heb. 11. 13. 1 Petr 2. 11.
[h] Psal. 90. 9. a 102. 11. a 144. 4.
‡ Heb. *disgwyl.*

16 O ARGLWYDD ein Duw, yr holl
amlder hyn a barottoisom ni i adeiladu i ti
dŷ i'th enw sanctaidd, o'th law di *y mae*, ac
eiddot ti *ydyw* oll.
17 Gwn hefyd, O fy Nuw, mai ti sydd
f 1 Sam. 16. 7. i yn profi 'r galon, ac yn ymfoddloni mewn
Pen. 28. 9. cyfiawnder. Myfi yn uniondeb fy nghalon,
o wirfodd a offrymmais hyn oll; ac yn awr y
gwelais dy bobl a gafwyd yma yn offrymmu
yn ewyllysgar i ti, a hynny mewn llawen-
ydd.
18 ARGLWYDD DDUW Abraham, Isaac,
ac Israel, ein tadau, cadw hyn yn dragy-
wydd ym mryd meddyliau calon dy bobl; a
† Neu, cadarn-ha. † pharottoa eu calon hwynt attat ti.
19 A dyro i Salomon fy mab galon ber-
ffaith, i gadw dy orchymynion, dy dystio-
laethau, a'th ddeddfau, ac i'w gwneuthur
*hwynt* oll, ac i adeiladu 'r llys yr hwn y
darperais iddo.
20 ¶ Dywedodd Dafydd hefyd wrth yr
holl dyrfa, Bendithiwch, attolwg, yr AR-
GLWYDD eich DUW. A'r holl dyrfa a fen-
dithiasant ARGLWYDD DDUW eu tadau,
ac a ymgrymmasant i'r ARGLWYDD, ac i'r
brenhin.
21 Aberthasant hefyd ebyrth i'r AR-
GLWYDD, a thrannoeth ar ol y dydd hwnnw
yr aberthasant yn boeth-offrymmau i'r AR-
GLWYDD, fil o fustych, mil o hyrddod, a
mil o ŵyn, a'u diod-offrymmau, ac ebyrth
yn lïosog, dros holl Israel:
22 Ac a fwyttasant ac a yfasant ger bron
k 1 Bren. 1. 35, 39. yr ARGLWYDD y diwrnod hwnnw mewn
llawenydd mawr. A [k] gosodasant Salomon
fab Dafydd yn frenhin yr ail waith; ac en-
neiniasant *ef* i'r ARGLWYDD yn flaenor, a
Sadoc yn offeiriad.
23 Felly 'r eisteddodd Salomon ar orsedd-
fa'r ARGLWYDD yn frenhin, yn lle Da-
fydd ei dad, ac a lwyddodd; a holl Israel a
wrandawsant arno.
24 Yr holl dywysogion hefyd a'r cedyrn,
a chyd â hynny holl feibion y brenhin Da-
fydd, [l] a roddasant eu dwylaw *ar fod* dan l Edrych Gen. 24. 2.
Salomon y brenhin. a 47. 29.
25 A'r ARGLWYDD a fawrygodd Salo- Ezec. 17.
mon yn rhagorol yngŵydd holl Israel, ac 18.
[m] a roddes iddo ogoniant brenhinol, math yr m 1 Bren.
hwn ni bu i un brenhin o'i flaen ef yn Israel. 3. 13.
26 ¶ Felly Dafydd mab Jesse a deyrnas- 2 Cor. 1. 12.
odd ar holl Israel. Preg. 2. 9.
27 [n] A'r dyddiau y teyrnasodd efe ar Is- n 1 Bren. 2. 11.
rael *oedd* ddeugain mlynedd: [o] saith mly- o 2 Sam. 5.
nedd y teyrnasodd efe yn Hebron, a thair 5.
*blynedd* ar ddeg ar hugain y teyrnasodd efe
yn Jerusalem.
28 Ac efe a fu farw mewn oedran têg,
yn gyflawn o ddyddiau, cyfoeth, ac anrhy-
dedd: a Salomon ei fab a deyrnasodd yn ei
le ef.
29 Ac *am* weithredoedd cyntaf a diweddaf
y brenhin Dafydd, wele *y maent* yn ysgrif-
enedig yngeiriau Samuel y gweledydd, ac
yngeiriau Nathan y prophwyd, ac yngeiriau
Gad y gweledydd,
30 Gyd â'i holl frenhiniaeth ef, a'l
gadernid, a'r amserau a aethant drosto ef,
a thros Israel, a thros holl deyrnasoedd y
gwledydd.

---

# ¶ Ail LYFR y CHRONICL.

## PEN. I.

1 *Salomon yn offrymmu yn Gibeon; 7 yn dewis doethineb, a Duw yn bendithio ei ddewis ef.*
13 *Ei allu a'i gyfoeth ef.*

Cyn A [a] Salomon mab Dafydd a ymgadarn-
Crist haodd yn ei deyrnas, a'r ARGLWYDD
1015. ei DDUW *oedd* gyd ag ef, ac a'i mawrhaodd
a 1 Bren. 2. 46. ef yn ddirfawr.
2 A Salomon a ddywedodd wrth holl
Israel, wrth dywysogion y miloedd a'r
cannoedd, ac wrth y barnwŷr, ac wrth bob
llywodraethwr yn holl Israel, *sef* y pennau
cenedl.
3 Felly Salomon a'r holl dyrfa gyd ag ef
b 1 Bren. a aethant i'r uchelfa *oedd* yn [b] Gibeon:
3. 4. canys yno'r oedd pabell cyfarfod Duw, yr
1 Chron. 16. 39. a 21. hon a wnelsai Moses gwas yr ARGLWYDD
29. yn yr anialwch.
1045. 4 [c] Eithr arch DDUW a ddygasai Da-
c 2 Sam. 6. fydd i fynu o Ciriath-jearim, i'r *lle* a
2, 17. ddarparasai Dafydd iddi: canys efe a osod-
1 Chron. 16. 1. asai iddi hi babell yn Jerusalem.
d Exod. 27. 5 Hefyd, [d] yr allor bres [e] a wnelsai Be-
1, 2. a 38. 1. saleel mab Uri, fab Hur, oedd yno o flaen
e Exod. 31. pabell yr ARGLWYDD: a Salomon a'r dyrfa
2. a'i hargeisiodd hi.
6 A Salomon a aeth i fynu yno at yr allor
bres, ger bron yr ARGLWYDD, yr hon *oedd*
ym mhabell y cyfarfod, a mil o boeth-offrym-
mau a offrymmodd efe arni hi.
7 ¶ Y noson honno yr ymddangosodd
Duw i Salomon, ac y dywedodd wrtho ef,
Gofyn yr hyn a roddaf i ti.
8 A dywedodd Salomon wrth DDUW, Ti a
wnaethost fawr drugaredd â'm tad Dafydd,
f 1 Chron. 28. 5. ac a wnaethost i mi [f] deyrnasu yn ei le ef.
9 Yn awr, O ARGLWYDD DDUW, sicrh-
âer dy air wrth fy nhad Dafydd; [g] canys g 1 Bren. 3. 7.
gwnaethost i mi deyrnasu ar bobl † mor † Heb. aml fel
lïosog a llwch y ddaear. llwch.
10 Yn awr [h] dyro i mi ddoethineb a gwy-
bodaeth, fel [i] yr elwyf allan, ac y delwyf h 1 Bren.
i mewn o flaen y bobl hyn: canys pwy a 3. 9.
ddichon farnu dy bobl lïosog hyn? i Num. 27. 17.
11 A dywedodd Duw wrth Salomon, O
herwydd bod hyn yn dy feddwl di, ac na
ofynaist na chyfoeth, na golud, na gogo-
niant, nac einioes dy elynion, ac na ofyn-
aist lawer o ddyddiau chwaith; eithr gofyn
o honot i ti ddoethineb, a gwybodaeth, fel
y bernit fy mhobl y'th osodais yn frenhin
arnynt:
12 Doethineb a gwybodaeth a roddwyd
it', cyfoeth hefyd, a golud, a gogoniant, a
roddaf it', y rhai [k] ni bu eu cyffelyb gan y k 1 Chron.
brenhinoedd *a fu* o'th flaen di, ac ni bydd y 29. 25.
cyffelyb i neb ar dy ol di. Pen. 9. 22.
13 ¶ A Salomon a ddaeth o'r uchelfa Preg. 2. 9.
*oedd* yn Gibeon, i Jerusalem, oddi ger bron l 1 Bren. 4. 26. a 10.
pabell y cyfarfod, ac a deyrnasodd ar Israel. 26, &c.
14 [l] A Salomon a gasglodd gerbydau a Pen. 9. 25.
marchogion; ac yr oedd ganddo fil a phed- m 1 Bren.
war cant o gerbydau, a deuddeng mil o wŷr 10. 27.
meirch, ac efe a'u gosododd hwynt yn ninas- Pen. 9. 27.
oedd y cerbydau, ac yn Jerusalem gyd â'r Job 22. 24.
brenhin. ‡ Heb. roddodd.
15 [m] A'r brenhin a ‡ wnaeth yr arian a'r § Heb.
aur yn Jerusalem *cyn amled* a'r cerrig, a Mynediad
chedrwŷdd a roddes efe fel y sycomorwŷdd *y meirch oedd gan Salomon oedd o'r Aipht.*
o amldra, y rhai sydd *yn tyfu* yn y doldir.
16 § [n] A meirch a ddygid i Salomon o'r
Aipht, ac edafedd llin: marchnadwŷr y n 1 Bren.
brenhin a gymmerent yr edafedd llin dan 10. 28.
bris. Pen. 9. 28

17 Canys deuent i fynu, a dygent o'r
Aipht gerbyd am chwe chan *darn* o arian;
a march am gant a hanner: ac felly y
dygent i holl frenhinoedd yr Hethiaid, ac
[† Heb. *trwy eu llaw hwynt.*] i frenhinoedd Syria † gyd â hwynt.

## PEN. II.

1, 17 *Gweithwŷr Salomon wrth adeiladu'r deml.* 3 *Salomon yn gyrru at Hiram am weithwŷr a defnyddiau.* 11 *A Hiram yn ei atteb ef yn garedig.*

[1015.] A Salomon a roes ei fryd ar adeiladu
tŷ i enw'r ARGLWYDD, a brenhindy
iddo ei hun.
[a 1 Bren. 5. 15. Adn. 18.] 2 A [a] Salomon a rifodd ddeng mil a
thrugain o gludwŷr, a phedwar ugain mil o
gymynwŷr yn y mynydd, ac yn oruchwyl-
wŷr arnynt hwy dair mil a chwe chant.
[† Heb. *Huram.* Edrych 1 Bren. 5. 1.] 3 ¶ A Salomon a anfonodd at † Hiram
brenhin Tyrus, gan ddywedyd, [b] Megis y
gwnaethost â Dafydd fy nhad, ac yr an-
fonaist iddo gedrwŷdd i adeiladu iddo dŷ i
[b 1 Chron. 14. 1.] drigo ynddo, *felly gwna â minnau.*
4 Wele fi yn adeiladu tŷ i enw'r AR-
GLWYDD fy NUW, i'w gyssegru iddo, *ac* i
arogl-darthu arogl-darth llysieuog ger ei
fron ef, ac i'r gwastadol osodiad *bara*, a'r
[c Num. 28. 3, 9, 11.] [c] poeth-offrymmau bore a hwyr, ar y
Sabbothau, ac ar y newydd-loerau, ac ar
osodedig wyliau'r ARGLWYDD ein DUW
ni. Hyd byth *y mae* hyn ar Israel.
5 A'r tŷ a adeiladaf fi *fydd* mawr: canys
mwy *yw* ein DUW ni na'r holl dduwiau.
[d 1 Bren. 8. 27. Pen. 6. 18.] 6 [d] A phwy ‡ sydd abl i adeiladu iddo ef
dŷ, gan na all y nefoedd, ïe nefoedd y nef-
[‡ Heb. *a gaiff nerth.*] oedd ei amgyffred? a phwy *ydwyf* fi, fel
yr adeiladwn iddo ef dŷ, ond yn unig i
arogl-darthu ger ei fron ef?
7 Felly yn awr anfon i mi wr cywraint,
i weithio mewn aur, ac mewn arian, ac
mewn pres, ac mewn haiarn, ac mewn
porphor, ac ysgarlad, a glas, ac yn medru
cerfio cerfiadau gyd â'r rhai celfydd *sydd*
gyd â mi yn Judah ac yn Jerusalem, y rhai
a ddarparodd fy nhad Dafydd.
8 Anfon hefyd i mi goed cedr, a ffynnid-
[§ Neu, *almugim,* 1 Bren. 10. 11.] wŷdd, ac § algumimwŷdd o Libanus: (ca-
nys mi a wn y medr dy weision di naddu
coed Libanus) ac wele, fy ngweision innau
*a fyddant* gyd â'th weision dithau;
9 A *hynny* i ddarparu i mi lawer o goed:
canys y tŷ yr ydwyf fi ar ei adeiladu *fydd*
mawr a rhyfeddol.
10 Ac wele i'th weision, i'r seiri a nadd-
ant y coed, y rhoddaf ugain mil corus
o wenith wedi ei guro, ac ugain mil corus
o haidd, ac ugain mil bath o win, ac ugain
mil bath o olew.
11 ¶ A Hiram brenhin Tyrus a attebodd
mewn ysgrifen, ac a'i hanfonodd at Salo-
mon, O gariad yr ARGLWYDD ar ei bobl, y
rhoddes efe dydi yn frenhin arnynt hwy.
12 Dywedodd Hiram hefyd, Bendigedig
[e Gen. 1. a 2. Psal. 33. 6. a 102. 25. a 124. 8. a 136. 5, 6 Act. 4. 24. a 14. 15. Dat. 10. 6.] *fyddo* ARGLWYDD DDUW Israel, [e] yr hwn
a wnaeth nef a daear, yr hwn a roddes i'r
brenhin Dafydd fab doeth, || gwybodus o
synwyr a deall, i adeiladu tŷ i'r AR-
GLWYDD, a brenhindy iddo ei hun.
13 Ac yn awr mi a anfonais wr celfydd, cy-
wraint, a deallus, o'r eiddo fy nhad Hiram:
[|| Heb. *yn gwybod synwyr a deall.*] 14 [f] Mab gwraig o ferched Dan, a'i dad
yn wr o Tyrus, yn medru gweithio mewn
aur, ac mewn arian, mewn pres, mewn
[f 1 Bren. 7. 14.] haiarn, mewn cerrig, ac mewn coed,
mewn porphor, ac mewn glas, ac mewn
lliain main, ac mewn ysgarlad; ac i
gerfio pob cerfiad, ac i ddychymmygu pob
dychymmyg a roddir atto ef, gyd â'th rai
cywraint di, a rhai cywraint fy arglwydd
Dafydd dy dad.
15 Ac yn awr, y gwenith, a'r haidd, yr
olew, a'r gwin, y rhai a ddywedodd [g] fy [g Adn. 10.]
arglwydd, anfoned hwynt i'w weision:
16 A ni a gymynwn goed o Libanus, yn
ol dy holl raid, ac a'u dygwn hwynt it'
yn gludeiriau ar hŷd y môr i † Joppa: [† Heb. *Japho.*]
dwg dithau *hwynt* i fynu i Jerusalem.
17 ¶ [h] A Salomon a rifodd yr holl wŷr [h 1 Bren. 5. 13. a 9. 20.]
dïeithr *oedd* yn nhir Israel, wedi'r rhifiad
â'r hon y rhifasai [i] Dafydd ei dad ef hwynt: [i 1 Chron. 22. 2.]
a chaed tair ar ddeg a saith ugain o filoedd
a chwe chant.
18 Ac efe a wnaeth o honynt hwy [k] ddeng [k Megis adn. 2.]
mil a thri ugain yn gludwŷr, a phedwar ugain
mil yn naddwŷr, yn y mynydd, a thair mil
a chwe chant yn oruchwylwŷr i roi'r bobl ar
waith.

## PEN. III.

1 *Y lle a'r amser yr adeiladwyd y deml.* 3 *Ei mesur a'i haddurn.* 10 *Y cerubiaid.* 14 *Y llenn a'r colofnau.*

A [a] Salomon a ddechreuodd adeiladu tŷ'r [1012.]
ARGLWYDD yn Jerusalem ym my- [a 1 Bren. 6. 1, &c.]
nydd [b] Moriah, † lle yr ymddangosasai'r [b Gen. 22. 2.]
ARGLWYDD i Ddafydd ei dad ef, yn
y lle a ddarparasai Dafydd, yn llawr-dyrnu [† Neu, *yr hwn a welwyd gan Ddafydd.*]
‡ [c] Ornan y Jebusiad.
2 Ac efe a ddechreuodd adeiladu ar yr
ail *dydd* o'r ail mis, yn y bedwaredd flwydd-
yn o'i deyrnasiad. [‡ Neu, *Arafnah,* 2 Sam. 24. 18.]
3 ¶ A dyma § *fesurau* [d] sylfaeniad Salo-
mon wrth adeiladu tŷ DDUW. Yr hŷd *oedd*
o gufyddau wrth y mesur cyntaf yn dri [c 1 Chron. 21. 18.]
ugain cufydd; a'r lled yn ugain cufydd.
4 A'r [e] porth *oedd* wrth dalcen *y tŷ oedd* [§ Neu, *y pethau yr addysgwyd* (Heb. *y sylfaenwyd*) *Salomon ynddynt.*]
un hŷd a lled y tŷ, yn ugain cufydd, a'i
uchder yn chwech ugain cufydd; ac efe a
wisgodd hwn o fewn ag aur pûr.
5 A'r tŷ mawr a fyrddiodd efe â ffynnid-
wŷdd, y rhai a wisgodd efe ag aur dilin,
ac a gerfiodd balmwŷdd a chadwynau ar
hyd-ddo ef. [d 1 Bren. 6. 2.]
6 Ac efe a || addurnodd y tŷ â meini
gwerthfawr yn hardd, a'r aur *oedd* aur [e 1 Bren. 6. 3.]
Parfaim.
7 Ië efe a wisgodd y tŷ, y trawstiau, y [|| Heb. *orchuddiodd.*]
rhiniogau, a'i barwydydd, a'i ddorau, ag
aur, ac a gerfiodd gerubiaid ar y parwy-
dydd.
8 Ac efe a wnaeth dŷ'r cyssegr sancteidd-
iolaf, ei hŷd *oedd* un hŷd â lled y tŷ, yn
ugain cufydd, a'i led yn ugain cufydd: ac
efe a'i gwisgodd ef ag aur da, *sef* â chwe
chan talent.
9 Ac *yr oedd* pwys yr hoelion o ddeg sicl
a deugain o aur; y llofftydd hefyd a wisg-
odd efe ag aur.
10 ¶ [f] Ac efe a wnaeth yn nhŷ y cyssegr [f 1 Bren. 6. 23.]
sancteiddiolaf ddau gerub o waith † cywraint,
ac a'u gwisgodd hwynt ag aur. [† Neu, *delwau,* neu, *symmudadwy.*]
11 Ac adenydd y cerubiaid *oedd* ugain
cufydd eu hŷd: y naill aden o bûm cu-
fydd, yn cyrhaeddyd pared y tŷ; a'r aden
arall o bûm cufydd yn cyrhaeddyd at aden
y cerub arall.
12 Ac aden y cerub arall o bûm cufydd,
yn cyrhaeddyd pared y tŷ; a'r aden arall o
bûm cufydd, ynghŷd ag aden y cerub arall.
13 Adenydd y cerubiaid hyn a ledwyd
yn ugain cufydd: ac yr oeddynt hwy yn
sefyll ar eu traed, a'u hwynebau tu ‡ ag i [‡ Heb. *a'r tŷ.*]
fewn.

a Mat. 27. 14 ¶ Ac efe a wnaeth [a] y wahan-len
51. o sidan glas, a phorphor, a 'sgarlad, a lliain
† Heb. main, ac a † weithiodd gerubiaid ar hyn-
ddyrchafodd. ny.
b 1 Bren. 7. 15 Gwnaeth hefyd [b] ddwy golofn o flaen
15, 21. y tŷ, yn bymtheg cufydd ar hugain o hŷd,
Jer. 52. 21. a'r cnap ar ben pob un o honynt oedd
bùm cufydd.
16 Ac efe a wnaeth gadwyni fel yn y
gafell, ac a'u rhoddodd ar ben y colofnau;
i 1 Bren. 7. ac efe a wnaeth [i] gant o bomgranadau, ac
20. a'u rhoddodd ar y cadwynau.
k 1 Bren. 7. 17 A [k] chyfododd y colofnau o flaen y
21. deml, un o'r tu dehau, ac un o'r tu aswy;
‡ Sef, efe a ac a alwodd enw'r ddehau, ‡ Jachin; ac
sicrhâ. enw'r aswy, § Boaz.
§ Sef, ynddo y mae nerth.

## PEN. IV.

*1 Yr allor bres. 2 Y môr tawdd ar ddeuddeg o ychen. 6 Y deg noe, y canhwyllbrenni a'r byrddau. 9 Y cynteddau, a'r dodrefn pres. 19 Yr offer aur.*

1012. AC efe a wnaeth [a] allor bres, o ugain
a Exod. 43. cufydd ei hŷd, ac ugain cufydd ei
13, 16. lled, a deg cufydd ei huchder.
b 1 Bren. 7. 2 ¶ [b] Gwnaeth hefyd fôr tawdd, yn
23. ddeg cufydd † o ymyl i ymyl, yn grwn
† Heb. o amgylch, ac yn bùm cufydd ei uchder,
o'i ymyl i'w ymyl. a llinyn o ddeg cufydd ar hugain a'i hamgylchai oddi amgylch.
c 1 Bren. 7. 3 [c] A llun ychen oedd dano yn ei am-
24. gylchu o amgylch, mewn deg cufydd yr
oeddynt yn amgylchu'r môr oddi amgylch:
dwy res o ychen oedd wedi eu toddi, pan
doddwyd yntau.
4 Sefyll yr oedd ar ddeuddeg o ychen;
tri yn edrych tu a'r gogledd, a thri yn
edrych tu a'r gorllewin, a thri yn edrych tu
a'r dehau, a thri yn edrych tu a'r dwyrain:
a'r môr arnynt oddi arnodd, a'u holl ben-
nau ol hwynt oedd o fewn.
5 A'i dewder oedd ddyrnfedd, a'i ymyl
‡ Neu, fel gwaith ymyl cwppan, ‡ â blodau lili:
fel blodeuyn lili. a thair mil o bathau a dderbyniai, ac a
ddaliai.
d 1 Bren. 7. 6 ¶ Gwnaeth hefyd [d] ddeg o noeau, ac
38. efe a roddodd bump o'r tu dehau, a phump
o'r tu aswy, i ymolchi ynddynt: trochent
ynddynt ddefnydd y poeth-offrwm, ond y
môr oedd i'r offeiriaid i ymolchi ynddo.
e 1 Bren. 7. 7 [e] Ac efe a wnaeth ddeg canhwyllbren
49. aur [f] yn ol eu portreiad, ac a'u gosododd
f Exod. 25. yn y deml, pump o'r tu dehau, a phump
31, 40. o'r tu aswy.
1 Chron. 28. 8 [g] Gwnaeth hefyd ddeg o fyrddau, ac
12, 19.
g 1 Bren. 7. a'u gosododd yn y deml, pump o'r tu de-
48. hau, a phump o'r tu aswy: ac efe a wnaeth
§ Neu, gant o § gawgiau aur.
phiolau. 9 ¶ Ac [h] efe a wnaeth gyntedd yr offei-
h 1 Bren. 6. riaid, a'r cyntedd mawr, a dorau i'r cyntedd-
36. oedd; a'u dorau hwynt a wisgodd efe â
phres.
i 1 Bren. 7. 10 Ac [i] efe a osododd y môr ar yr ystlys
39. ddehau, tu a'r dwyrain, ar gyfer y de-
hau.
k Edrych 11 Gwnaeth [k] Hiram hefyd y crochanau,
1 Bren. 7. a'r rhawiau, ‖ a'r cawgiau: a darfu i Hi-
40. ram wneuthur y gwaith a wnaeth efe dros
‖ Neu, frenhin Salomon i dŷ Duw:
a'r phiolau. 12 Y ddwy golofn, a'r [l] cnapiau, a'r
l 1 Bren. 7. coronau ar ben y ddwy golofn, a'r ddwy
41. bleth i guddio'r ddau gnap coronog, y rhai
oedd ar ben y colofnau:
m Edrych 13 A [m] phedwar cant o bomgranadau
1 Bren. 7. ar y ddwy bleth; dwy res oedd o bom-
20.
granadau ar bob pleth, i guddio'r ddau gnap
coronog oedd ar † bennau'r colofnau. † Heb.
14 Ac efe a wnaeth [n] ystolion, ac a wyneb.
wnaeth ‡ noeau ar yr ystolion; n 1 Bren. 7.
15 Un môr, a deuddeg o ychen dano: 27.
16 Y crochanau hefyd, a'r rhawiau, a'r ‡ Neu, bachau.
cigweiniau, a'u holl lestri hwynt, a wnaeth
[o] Hiram ei dad i'r brenhin Salomon, yn
nhŷ'r Arglwydd, o bres gloyw. o 1 Bren. 7.
17 [p] Yngwastadedd yr Iorddonen y todd- 14.
odd y brenhin hwynt, § mewn cleidir, rhwng p 1 Bren. 7.
Succoth a Seredathah. 46.
18 Fel hyn y gwnaeth Salomon yr holl § Heb.
lestri hyn, yn lliosog iawn; canys anfeidrol yn nhewdder y tir.
oedd bwys y pres.
19 ¶ A [q] Salomon a wnaeth yr holl lestri q 1 Bren. 7.
oedd yn nhŷ Duw, a'r allor aur, a'r byrdd- 48.
au oedd [r] â'r bara gosod arnynt, r Exod. 25.
30.
20 A'r canhwyllbrennau, a'u lampau, i s Exod. 27.
oleuo [s] yn ol y ddefod o flaen y gafell, o 20, 21.
aur pur;
21 [t] Y blodau hefyd, a'r lampau, a'r ge- t Exod. 25.
feiliau, oedd aur, a hwnnw ‖ yn aur perffaith. 31, &c.
22 Y psaltringau hefyd, a'r † cawgiau, ‖ Heb. o berffeith-
a'r llwyau, a'r thusserau, oedd aur pur: rwydd aur.
a drws y tŷ, a'i ddorau, o du fewn y
cyssegr sancteiddiolaf, a dorau tŷ'r deml, † Neu,
oedd aur. phiolau.

## PEN. V.

*1 Y trysorau cyssegredig. 2 Dwyn arch Duw yn barchedig i'r cyssegr. 11 Duw yn ol ei foliannu, yn dangos arwydd o'i ffafr.*

FELLY y gorphenwyd yr holl waith a 1005.
wnaeth Salomon i dŷ'r Arglwydd: a 1 Bren. 7.
a [a] Salomon a ddug i mewn yr hyn a gys- 51.
segrasai Dafydd ei dad; ac a osododd yn
nhrysorau tŷ Duw, yr arian, a'r aur, a'r
holl lestri.
2 ¶ [b] Yna y cynhullodd Salomon henur- b 1 Bren. 8.
iaid Israel, a holl bennau'r llwythau, pennau 1, &c.
cenedl meibion Israel, i Jerusalem, i ddwyn
i fynu arch cyfammod yr Arglwydd o
ddinas Dafydd, honno yw Sïon.
3 Am hynny holl wŷr Israel a ymgyn- 1004.
nullasant at y brenhin [c] ar yr ŵyl oedd yn c Edrych
y seithfed mis. Pen. 7. 8, 9,
4 A holl henuriaid Israel a ddaethant, 10.
a'r Lefiaid a godasant yr arch.
5 A hwy a ddygasant i fynu'r arch, a
phabell y cyfarfod, a holl lestri'r cyssegr,
y rhai oedd yn y babell, yr offeiriaid a'r
Lefiaid a'u dygasant hwy i fynu.
6 Hefyd brenhin Salomon, a holl gyn-
nulleidfa Israel, y rhai a gynnullasid atto ef
o flaen yr arch, a aberthasant o ddefaid,
a gwartheg, fwy nag a ellid eu rhifo na'u
cyfrif gan liosowgrwydd.
7 A'r offeiriaid a ddygasant arch cyfam-
mod yr Arglwydd i'w lle, i gafell y tŷ,
i'r cyssegr sancteiddiolaf, hyd tan adenydd
y cerubiaid.
8 A'r cerubiaid oedd yn lledu eu ha-
denydd dros le'r arch, a'r cerubiaid a
gysgodent yr arch a'i throsolion, oddi
arnodd.
9 A thynnasant allan y trosolion, fel y
gwelid pennau'r trosolion o'r arch o flaen
y gafell, ac ni welid hwynt oddi allan. Ac † Neu,
yno y † mae hi hyd y dydd hwn. maent hwy; me-
10 Nid oedd yn yr arch ond y ddwy gis
lech [d] a roddasai Moses ynddi yn Horeb, 1 Bren. 8. 8.
‡ lle y gwnaethai'r Arglwydd gyfam- d Deut. 10.
mod â meibion Israel, pan ddaethent hwy 2, 5.
allan o'r Aipht. Pen. 6. 11.
11 ¶ A phan ddaeth yr offeiriaid o'r ‡ Neu,
cyssegr (canys yr holl offeiriaid, y rhai a pan wnaethai.

gafwyd, a ymsancteiddiasent, heb gadw dosparthiad:

12 [e] Felly 'r Lefiaid, *y rhai oedd* gantorion, hwynt-hwy oll o Asaph, o Heman, o Jeduthun, a'i meibion hwynt, ac â'u brodyr, wedi eu gwisgo â lliain main, â symbalau, ac â nablau, a thelynau, yn sefyll o du dwyrain yr allor, a chyd â hwynt chwe ugain o offeiriaid yn udganu mewn udgyrn.

[e] 1 Chron. 25. 1.

13 Ac fel *yr oedd* yr udganwŷr a'r cantorion, megis un, i seinio un sain i glodfori ac i foliannu 'r ARGLWYDD; ac wrth ddyrchafu sain mewn udgyrn, ac mewn symbalau, ac mewn offer cerdd, ac wrth foliannu 'r ARGLWYDD, *gan ddywedyd*, [f] Canys da *yw*; ac yn dragywydd *y mae* ei drugaredd ef. *yna* y llanwyd y tŷ â chwmmwl, *sef* tŷ 'r ARGLWYDD;

[f] Psal. 136. Edrych 1 Chron. 16. 34, 41.

14 [g] Fel na allai 'r offeiriaid sefyll i wasanaethu gan y cwmmwl: o herwydd gogoniant yr ARGLWYDD a lanwasai dŷ DDUW.

[g] Exod. 40. 35. Pen. 7. 2.

## PEN. VI.

*1 Salomon, wedi bendithio 'r bobl, yn bendithio Duw. 12 Gweddi Salomon wrth gyssegru 'r deml, allan o'r pulpud pres.*

1004. YNA [a] y llefarodd Salomon, Yr ARGLWYDD a ddywedodd yr arhosai efe yn [b] y tywyllwch;

[a] 1 Bren. 8. 12, &c.
[b] Lef. 16. 2.

2 A minnau a adeiledais dŷ yn drigfa it', a lle i'th breswylfod yn dragywydd.

3 A'r brenhin a drodd ei wyneb, ac a fendithiodd holl gynnulleidfa Israel (a holl gynnulleidfa Israel oedd yn sefyll)

4 Ac efe a ddywedodd, Bendigedig *fyddo* ARGLWYDD DDUW Israel, yr hwn a lefarodd â'i enau wrth Ddafydd fy nhad, ac a gwblhaodd â'i ddwylaw, gan ddywedyd,

5 Er y dydd y dygais i fy mhobl allan o wlad yr Aipht, ni ddetholais ddinas o holl lwythau Israel i adeiladu tŷ, i fod fy enw ynddo; ac ni ddewisais wr i fod yn flaenor ar fy mhobl Israel:

6 Ond [c] mi a etholais Jerusalem, i fod fy enw yno; ac [d] a ddewisais Ddafydd i fod ar fy mhobl Israel.

[c] Pen. 12. 13.
[d] 1 Chron. 28. 4.

7 Ac [e] yr oedd ym mryd Dafydd fy nhad adeiladu tŷ i enw ARGLWYDD DDUW Israel.

[e] 2 Sam. 7. 2. 1 Chron. 17. 1. a 28. 2.

8 Ond dywedodd yr ARGLWYDD wrth Ddafydd fy nhad, O herwydd bod yn dy fryd di adeiladu tŷ i'm henw i, da y gwnaethost fod *hynny* yn dy galon:

9 Er hynny nid adeiledi di y tŷ; ond dy fab di, yr hwn a ddaeth allan o'th lwynau, efe a adeilada 'r tŷ i'm henw i.

10 Am hynny 'r ARGLWYDD a gwblhaodd ei air a lefarodd efe: canys mi a gyfodais yn lle Dafydd fy nhad, ac a eisteddais ar orseddfa Israel, fel y llefarodd yr ARGLWYDD, ac a adeiledais dŷ i enw ARGLWYDD DDUW Israel.

11 Ac yno y gosodais yr arch; [f] yn yr hon *y mae* cyfammod yr ARGLWYDD, yr hwn a ammododd efe â meibion Israel.

[f] Pen. 5. 10.

12 ¶ A *Salomon* a safodd o flaen allor yr ARGLWYDD, yngŵydd holl gynnulleidfa Israel, ac a estynodd ei ddwylaw:

13 (Canys Salomon a wnaethai bulpud pres, ac a'i gosodasai ynghanol y cyntedd, yn bum cufydd ei hŷd, a phum cufydd ei led, a thri chufydd ei uchder; ac a safodd arno, ac a ostyngodd ar ei liniau ger bron holl gynnulleidfa Israel, ac a estynodd ei ddwylaw tu a'r nefoedd)

14 Ac efe a ddywedodd, O ARGLWYDD DDUW Israel, [g] nid oes Duw cyffelyb i ti yn y nefoedd, nac ar y ddaear; yn cadw cyfammod a thrugaredd â'th weision, sydd yn rhodio ger dy fron di â'u holl galon:

[g] Exod. 15. 11. Deut. 4. 39. a 7. 9.

15 [h] Yr hwn a gedwaist â'th was Dafydd fy nhad, yr hyn a leferaist wrtho; fel y lleferaist â'th enau, felly y cwblheaist â'th law, megis *y mae* y dydd hwn.

[h] 1 Chron. 22. 9.

16 Ac yn awr, O ARGLWYDD DDUW Israel, cadw â'th was Dafydd fy nhad, yr hyn a leferaist wrtho, gan ddywedyd, [i] Ni thorrir ymaith oddi wrthyt *na bydd*o gwr ger fy mron i yn eistedd ar deyrn-gadair Israel; [k] os dy feibion a wyliant ar eu ffordd, i rodio yn fy nghyfraith i, fel y rhodiaist ti ger fy mron i.

[i] 2 Sam. 7. 12, 16. 1 Bren. 2. 4. a 6. 12.
[k] Psal. 132. 12.

17 Yn awr gan hynny, O ARGLWYDD DDUW Israel, poed gwir fyddo dy air a leferaist wrth dy was Dafydd.

18 Ai gwir yw, y preswylia Duw gyd â dyn ar y ddaear? [l] Wele 'r nefoedd, a nefoedd y nefoedd, ni allant dy amgyffred; pa faint llai *y dichon* y tŷ hwn a adeiledais i?

[l] Pen. 2. 6. Esay 66. 1. Act. 7. 49.

19 Edrych gan hynny ar weddi dy was, ac ar ei ddeisyfiad ef, O ARGLWYDD fy NUW, i wrando ar y llef ac ar y weddi y mae dy was yn ei gweddïo ger dy fron:

20 Fel y byddo dy lygaid yn agored tu a'r tŷ yma ddydd a nos, tu a'r lle *am* yr hwn y dywedaist, y gosodit dy enw yno; i wrando ar y weddi a weddïo dy was di † yn y fan hon.

† Neu, *tu a'r fan hon.*

21 Gwrando gan hynny ddeisyfiadau dy was, a'th bobl Israel, y rhai a weddïant yn y lle hwn: gwrando di hefyd o le dy breswylfod, *sef* o'r nefoedd; a phan glywech, maddeu.

22 ¶ Os pecha gwr yn erbyn ei gymmydog, a gofyn ganddo raith, gan ei dyngu ef, a dyfod y llw o flaen dy allor di yn y tŷ hwn:

23 Yna gwrando di o'r nefoedd; gwna hefyd, a barna dy weision; gan dalu i'r drygionus, trwy roddi ei ffordd ef ar ei ben ei hun; a chan gyfiawnhâu 'r cyfiawn, trwy roddi iddo yntau yn ol ei gyfiawnder.

24 ¶ A phan darawer dy bobl Israel o flaen y gelyn, am iddynt bechu yn dy erbyn; os dychwelant, a chyfaddef dy enw, a gweddïo ac ymbil ger dy fron di ‡ yn y tŷ hwn:

‡ Neu, *tu a'r tŷ.*

25 Yna gwrando di o'r nefoedd, a maddeu bechod dy bobl Israel, a dychwel hwynt i'r tir a roddaist iddynt hwy, ac i'w tadau.

26 ¶ [m] Pan gauer y nefoedd, fel na byddo gwlaw, o herwydd pechu o honynt i'th erbyn; os gweddïant yn y lle hwn, a chyfaddef dy enw, a dychwelyd oddi wrth eu pechod, pan gystuddiech hwynt:

[m] 1 Bren. 17. 1.

27 Yna gwrando di o'r nefoedd, a maddeu bechod dy weision, a'th bobl Israel, pan ddysgech iddynt dy ffordd dda yr hon y rhodient ynddi; a dyro wlaw ar dy wlad a roddaist i'th bobl yn etifeddiaeth.

28 ¶ [n] Os bydd newyn yn y tir, os bydd haint, deifiad, neu falldod, os bydd locustiaid neu lindys; os gwarchae ei elyn arno ef § yn ninasoedd ei wlad; *neu* pa bla bynnag, neu glefyd bynnag *a fyddo*;

[n] Pen. 20. 9.
§ Heb. *yngwlad eu pyrth.*

29 Pob gweddi, pob deisyfiad a fyddo gan bob dyn, neu gan holl bobl Israel; pan wypo pawb ei bla ei hun, a'i ddolur, ac estyn ei ddwylaw ‖ tu a'r tŷ hwn:

‖ Neu, *yn y tŷ hwn.*

30 Yna gwrando di o'r nefoedd, o fan-
gre dy breswylfod, a maddeu, a dyro i bob
un yn ol ei holl ffyrdd, yr hwn a adwaen-
° 1 Chron. 28. 9. ost ei galon ef (canys tydi yn unig ° a ad-
waenost galon meibion dynion)
31 Fel y'th ofnont, gan rodio yn dy ffyrdd
di yr holl ddyddiau y byddont hwy byw ar
wyneb y ddaear, yr hon a roddaist i'n ta-
dau ni.
p Ioan 12. 20. Act. 8. 27. 32 ¶ Ac am y dieithrddyn hefyd, p yr
hwn ni *byddo* o'th bobl di Israel, ond wedi
dyfod o wlad bell, er mwyn dy enw mawr,
a'th law gadarn, a'th fraich estynedig; os
deuant a gweddïo yn y tŷ hwn:
33 Yna gwrando di o'r nefoedd, o fan-
gre dy breswylfod, a gwna yn ol yr hyn
oll a lefo'r dieithrddyn arnat; fel yr ad-
waeno holl bobl y ddaear dy enw di, ac
y'th ofnont, fel *y mae* dy bobl Israel, ac y
† Heb. *dy enw di a elwir ar y tŷ hwn.* gwypont mai † ar dy enw di y gelwir y tŷ
yma a adeiledais i.
34 ¶ Os â dy bobl allan i ryfel yn erbyn
eu gelynion ar hŷd y ffordd yr anfonych
hwynt, os gweddïant arnat ti tu a'r ddinas
yma yr hon a ddetholaist, a'r tŷ a adeiledais
i'th enw di:
35 Yna gwrando o'r nefoedd ar eu gwe-
ddi hwynt ac ar eu deisyfiad, a gwna farn
iddynt.
q Diar. 20. 9. Preg. 7. 20. Iago 3. 2, 3. 1 Ioan 1. 8. 36 ¶ Os pechant i'th erbyn (canys q nid
*oes* dyn ni phecha) a diglloni o honot i'w
herbyn hwynt, a'u rhoddi o flaen *eu* gelyn-
ion, ‡ ac iddynt eu caeth-gludo yn gaethion
‡ Heb. *ac i'r rhai a'u caeth-gludant eu caeth-gludo.* i wlad bell neu agos;
37 *Os* dychwelant at eu calon yn y wlad
y caeth-gludwyd hwynt iddi, a dychwelyd
ac ymbil â thi yngwlâd eu caethiwed, gan
ddywedyd, Pechasom, troseddasom, a gwnae-
thom yn annuwiol;
38 Os dychwelant attat â'u holl galon,
ac â'u holl enaid, yngwlâd eu caethiwed,
lle y caeth-gludasant hwynt, a gweddïo
tu a'u gwlad a roddaist i'w tadau, a'r ddi-
nas a ddetholaist, a'r tŷ a adeiledais i'th
enw di:
39 Yna gwrando di o'r nefoedd, o fan-
gre dy breswylfod, eu gweddi hwynt a'u
deisyfiadau, a gwna farn iddynt, a maddeu
i'th bobl a bechasant i'th erbyn.
40 Yn awr, O fy NUW, bydded, attolwg,
dy lygaid yn agored, a'th glustiau yn ym-
wrando â'r weddi *a wneir tu a*'r lle yma.
r Psal. 132. 8, 9, 10, 16. 41 Ac r yn awr cyfod, O ARGLWYDD
DDUW, i'th orphwysfa, ti ac arch dy ga-
dernid: dillader dy offeiriaid, O ARGLWYDD
DDUW, â iachawdwriaeth, a llawenyched
dy saint mewn daioni.
42 O ARGLWYDD DDUW, na thro ym-
s Esay 55. 3. aith wyneb dy enneiniog: cofia s drugared-
dau Dafydd dy was.

PEN. VII.

1 *Duw yn tystiolaethu gyd â gweddi Salomon, trwy dân o'r nef, a gogoniant yn y deml; a'r bobl yn ei addoli ef.* 4 *Cyhoedd ebyrth Salomon.* 8 *Salomon, ar ol cadw gwyl y pebyll, a gwyl cyssegriad yr allor, yn gollwng y bobl ymaith.* 12 *Duw yn ymddangos i Salomon, ac yn rhoi iddo addewidion dan ammod.*

1004.
a 1 Bren. 8. 54. AC a wedi gorphen o Salomon weddïo,
b Lef. 9. 24. Barn. 6. 21. b tân a ddisgynodd o'r nefoedd, ac a
1 Bren. 18. 38. 1 Chron. 21. 26. ysodd y poeth-offrwm a'r ebyrth; a c go-
goniant yr ARGLWYDD a lanwodd y tŷ.
c 1 Bren. 8. 10, 11. Pen. 5. 13, 14. 2 Ac ni allai'r offeiriaid fyned i mewn i
dŷ yr ARGLWYDD, o herwydd gogoniant yr
ARGLWYDD a lanwasai dŷ'r ARGLWYDD.

3 A phan welodd holl feibion Israel y tân
yn disgyn, a gogoniant yr ARGLWYDD ar
y tŷ, hwy a ymgrymmasant â'u hwynebau
i lawr ar y palmant, ac a addolasant, ac a
glodforasant yr ARGLWYDD, d canys da- d Pen. 5. 13.
ionus *yw efe*; e o herwydd *bod* ei drugaredd
ef yn dragywydd. e 1 Chron. 16. 41. Pen. 20. 21.
4 ¶ Yna'r brenhin a'r holl bobl a aberth-
asant ebyrth ger bron yr ARGLWYDD.
5 A'r brenhin Salomon a aberthodd aberth
o ddwy fil ar hugain o ychen, a chwech
ugain mil o ddefaid: felly'r brenhin a'r holl
bobl a gyssegrasant dŷ DDUW.
6 f A'r offeiriaid oedd yn sefyll yn eu f 1 Chron. 15. 16.
goruchwyliaeth: a'r Lefiaid ag offer cerdd
yr ARGLWYDD, y rhai a wnaethai Dafydd
y brenhin i gyffesu'r ARGLWYDD, o he-
rwydd yn dragywydd *y mae* ei drugaredd
ef, pan oedd Dafydd yn moliannu *DUW*
† trwyddynt hwy: a'r offeiriaid oedd yn † Heb. *trwy eu llaw hwynt.*
udganu ar eu cyfer hwynt, a holl Israel oedd
yn sefyll.
7 A Salomon a gyssegrodd ganol y cyntedd
yr hwn *oedd* o flaen tŷ'r ARGLWYDD: ca-
nys yno yr offrymmodd efe boeth-offrym-
mau, a brasder yr aberthau hedd; canys ni
allai'r allor bres a wnaethai Salomon dder-
byn y poeth-offrwm, a'r bwyd-offrwm, a'r
brasder.
8 ¶ g A Salomon a gadwodd ŵyl y pryd g 1 Bren. 8. 65.
hynny saith niwrnod, a holl Israel gyd ag
ef, cynnulleidfa fawr iawn, o ddyfodfa Ha-
math hyd h afon yr Aipht. h Jos. 13. 3
9 Gwnaethant hefyd yr wythfed dydd
‡ gymmanfa: canys cyssegriad yr allor a ‡ Heb. *waharddiad.*
gadwasant hwy saith niwrnod, a'r ŵyl saith
niwrnod.
10 Ac i yn y trydydd dydd ar hugain o'r i 1 Bren. 8. 66.
seithfed mis y gollyngodd efe'r bobl i'w
pabellau, yn hyfryd ac yn llawen *eu* ca-
lon, am y daioni a wnaethai'r ARGLWYDD
i Ddafydd, ac i Salomon, ac i Israel ei
bobl.
11 Fel hyn k y gorphenodd Salomon dŷ'r k 1 Bren. 9. 1, &c.
ARGLWYDD, a thŷ'r brenhin: a'r hyn oll
oedd ym mryd Salomon ei wneuthur yn
nhŷ'r ARGLWYDD, ac yn ei dŷ ei hun, a
wnaeth efe'n llwyddiannus.
12 ¶ A'r ARGLWYDD a ymddangosodd
i Salomon liw nos, ac a ddywedodd wrtho,
Gwrandewais dy weddi, a l mi a ddewisais l Deut. 12. 5.
y fan hon i mi yn dŷ aberth.
13 Os cauaf fi y nefoedd, fel na byddo
gwlaw, neu os gorchymynaf i'r locustiaid
ddifa'r ddaear, ac os anfonaf haint ym
mysg fy mhobl;
14 Os fy mhobl, y rhai y gelwir fy enw
arnynt, a ymostyngant, ac a weddïant, ac a
geisiant fy wyneb, ac a droant o'u ffyrdd
drygionus: yna y gwrandawaf o'r nefoedd,
ac y maddeuaf iddynt eu pechodau, ac yr
iachaf eu gwlad hwynt.
15 Yn awr m fy llygaid a fyddant yn m Pen. 6. 40.
agored, a'm clustiau yn ymwrando a'r weddi
*a wneir yn* y fan hon.
16 Ac yn awr n mi a ddetholais ac a n Pen. 6. 6.
sancteiddiais y tŷ hwn, i fod fy enw yno
hyd byth: fy llygaid hefyd a'm calon a
fyddant yno yn wastadol.
17 A thithau, os rhôdi ger fy mron i, fel y
rhodiodd Dafydd dy dad, a gwneuthur yr
hyn oll a orchymynais i ti, a chadw fy nedd-
fau a'm barnedigaethau:
18 Yna y sicrhâf deyrn-gadair dy fren-
hiniaeth di, megis yr ammodais â Dafydd
dy dad, gan ddywedyd, o Ni thorrir ymaith o Pen. 6. 16.

oddi wrthyt *na byddo* gwr yn arglwyddiaethu
yn Israel.
p Lef. 26. 19 p Ond os dychwelwch, ac *os* gwr-
14, 33. thodwch fy neddfau a'm gorchymynion a
Deut. 28. roddais ger eich bron, ac os ewch a gwa-
15, 36, 37. sanaethu duwiau dieithr, ac ymgrymmu
iddynt hwy:
20 Yna mi a'u diwreiddiaf hwynt o'm
gwlad a roddais iddynt, a'r tŷ a sancteidd-
iais i'm henw a fwriaf allan o'm golwg, a
mi a'i rhoddaf ef yn ddïareb, ac yn wawd
ym mysg yr holl bobloedd.
21 A'r tŷ yma, yr hwn sydd uchel, a
wna i bawb a'r a êl heibio iddo synnu;
q Deut. 29. fel y dywedo, q Pa ham y gwnaeth yr
24. Jer. 22. 8, ARGLWYDD fel hyn i'r wlad hon, ac i'r
9. tŷ hwn?
22 Yna y dywedant, Am iddynt wrthod
ARGLWYDD DDUW eu tadau, yr hwn a'u
dug hwy allan o wlad yr Aipht, ac *am*
iddynt ymaflyd mewn duwiau dïeithr,
ac ymgrymmu iddynt, a'u gwasanaethu
hwynt: am hynny y dug efe yr holl
ddrwg yma arnynt hwy.

## PEN. VIII.

1 *Adeilad Salomon. 7 Salomon yn dwyn y cenhedloedd a adawsid dan deyrn-ged iddo; ac yn gwneuthur yr Israeliaid yn llywiawdwŷr dano. 11 Merch Pharaoh yn symmudo i'w thŷ. 12 Cyhoedd aberthau blynyddol Salomon. 14 Salomon yn gosod yr offeiriaid a'r Lefiaid yn eu lleoedd. 17 Y llynges yn cyrchu aur o Ophir.*

992. AC a ym mhen yr ugain mlynedd, *yn*
a 1 Bren. 9. y rhai 'r adeiladodd Salomon dŷ'r AR-
10, &c. GLWYDD, a'i dŷ ei hun,
2 Salomon a adeiladodd y dinasoedd a
† Neu, † roddasai Hiram i Salomon, ac a wnaeth
*adferasai.* i feibion Israel drigo yno.
3 A Salomon a aeth i Hamath-sobah, ac
a'i gorchfygodd hi.
4 Ac efe a adeiladodd Tadmor yn yr
anialwch, a holl ddinasoedd y trysorau, y
rhai a adeiladodd efe yn Hamath.
5 Efe hefyd a adeiladodd Beth-horon
uchaf, a Beth-horon isaf, dinasoedd wedi
eu cadarnhâu â muriau, pyrth, a barrau;
6 Baalath hefyd, a holl ddinasoedd y try-
sorau oedd gan Salomon, a holl ddinasoedd
y cerbydau, a dinasoedd y marchogion,
‡ Heb. ‡ b a'r hyn oll oedd ewyllys gan Salomon
*a holl* ei adeiladu yn Jerusalem, ac yn Libanus,
*ddymuniad Salo-* ac yn holl dir ei arglwyddïaeth ef.
*mon, a* 7 ¶ Yr holl bobl y rhai a adawyd o'r
*ddymunodd efe ei* Hethiaid, a'r Amoriaid, a'r Phereziaid, a'r
*adeiladu.* Hefiaid, a'r Jebusiaid, y rhai nid *oeddynt*
b 1 Bren. 9. o Israel;
1. 8 *Ond* o'u meibion hwynt, y rhai a drig-
asant ar eu hol hwynt yn y wlad, y rhai
ni ddifethasai meibion Israel, Salomon a'u
gwnaeth hwynt yn drethol hyd y dydd hwn.
9 Ond o feibion Israel ni roddodd Salo-
mon *neb* yn weision yn ei waith: canys
hwynt-hwy *oeddynt* ryfelwŷr, a thywysog-
ion ei gapteniaid ef, a thywysogion ei ger-
bydau a'i wŷr meirch ef.
10 A dyma'r rhai pennaf o swyddogion
y brenhin Salomon, *sef* dau cant a deg a
deugain, yn arglwyddïaethu ar y bobl.
c 1 Bren. 3. 11 ¶ A Salomon c a ddug ferch Pharaoh
1. a 7. 8. i fynu o ddinas Dafydd i'r tŷ a adeilada-
a 9. 24. sai efe iddi hi: canys efe a ddywedodd,
§ Heb. *sancteidd-* Ni thrig fy ngwraig i yn nhŷ Ddafydd
*rwydd.* brenhin Israel, o herwydd § sanctaidd yw,
oblegid i arch yr ARGLWYDD ddyfod i
mewn iddo.
12 ¶ Yna Salomon a offrymmodd boeth-
offrymmau i'r ARGLWYDD ar allor yr AR-
GLWYDD, yr hon a adeiladasai efe o flaen y
porth;
13 I boeth-offrymmu dogn dydd d yn ei d Exod. 29.
ddydd, yn ol gorchymyn Moses, ar y Sab- 38.
bothau, ac ar y newydd-loerau, ac ar y
gwyliau arbennig, e dair gwaith yn y e Exod. 23.
flwyddyn; *sef* ar ŵyl y bara croyw, ac ar 14. Deut. 16.
ŵyl yr wythnosau, ac ar ŵyl y pebyll. 16.
14 ¶ Ac efe a osododd, yn ol trefn Dafydd
ei dad, f ddosparthiadau'r offeiriaid yn eu f 1 Chron.
gwasanaeth, a'r g Lefiaid yn eu goruchwyl- 24. 1.
iaeth, i foliannu ac i weini ger bron yr g 1 Chron.
offeiriaid, fel yr oedd ddyledus bob dydd yn 25. 1.
ei ddydd; a'r h porthorion yn eu dosparth- h 1 Chron.
iadau, wrth bob porth: canys felly'r *oedd* 9. 17. a 26.
gorchymyn Dafydd gwr Duw. 1.
15 Ac ni throisant hwy oddi wrth or-
chymyn y brenhin i'r offeiriaid a'r Lefiaid,
am un peth, nac am y trysorau.
16 A holl waith Salomon oedd wedi ei
barottôi hyd y dydd y seiliwyd tŷ'r AR-
GLWYDD, a hyd oni orphenwyd ef. *Felly*
y gorphenwyd tŷ yr ARGLWYDD.
17 ¶ Yna'r aeth Salomon i Esion-gaber,
ac i ‖ Eloth, ar fin y môr, yngwlâd Edom. ‖ Neu, *Elath,*
18 A Hiram a anfonodd gyd â'i weision Deut. 2. 8.
longau, a gweision cyfarwydd ar y môr; a 2 Bren. 14.
hwy a aethant gyd â gweision Salomon i 22.
Ophir, ac a gymmerasant oddi yno bedwar
cant a deg a deugain talent o aur, ac a'u
dygasant i'r brenhin Salomon.

## PEN. IX.

1 *Brenhines Seba yn rhyfedd ganthi ddoethineb Salomon. 13 Aur Salomon, 15 a'i dariannau, 17 a'i orseddfainge ifori, 20 a'i lestri, 23 a'i anrhegion, 25 a'i gerbydau a'i feirch, 26 a'i deyrn-ged. 29 Pa hŷd y teyrnasodd efe, a'i farwolaeth.*

A a Phan glybu brenhines Seba glod Sa- Cylch
lomon, hi a ddaeth i Jerusalem, i brofi 992.
Salomon â chwestiynau caled, â llu mawr a 1 Bren.
iawn, ac â chamelod yn dwyn aroglau, ac 10. 1, &c. Mat. 12. 42.
aur lawer, a meini gwerthfawr: a hi a Luc 11. 31.
ddaeth at Salomon, ac a ddywedodd wrtho
ef yr hyn oll oedd yn ei chalon.
2 A Salomon a fynegodd iddi hi ei holl
ofynion: ac nid oedd dim yn guddiedig
rhag Salomon a'r na fynegodd efe iddi hi.
3 A phan welodd brenhines Seba ddoeth-
ineb Salomon, a'r tŷ a adeiladasai efe,
4 A bwyd ei fwrdd, ac eisteddiad ei
weision, a threfn ei weinidogion, a'u di-
llad, a'i drulliadau ef, a'u gwisgoedd, a'i
esgynfa ar hŷd yr hon yr ai efe i fynu i
dŷ'r ARGLWYDD; nid oedd mwyach
yspryd ynddi.
5 A hi a ddywedodd wrth y brenhin, Gwir
*yw*'r gair a glywais yn fy ngwlad, am dy
† weithredoedd di, ac am dy ddoethineb: † Neu,
6 Etto ni choeliais i'w geiriau hwynt, nes *ymadroddion.*
im' ddyfod, ac i'm llygaid weled. Ac wele,
ni fynegasid i mi hanner helaethrwydd dy
ddoethineb: ychwanegaist at y glod a gly-
wais i.
7 Gwŷn fyd dy wŷr di, a gwŷnfydedig
*yw* dy weision hyn, y rhai sydd yn sefyll yn
wastadol ger dy fron, ac yn clywed dy
ddoethineb.
8 Bendigedig fyddo'r ARGLWYDD dy
DDUW, yr hwn a'th hoffodd di, i'th osod
ar ei orseddfa ef, yn frenhin dros yr

ARGLWYDD dy DDUW: o herwydd cariad dy DDUW tu ag at Israel, i'w sicrhâu yn dragywydd; am hynny y gwnaeth efe dydi yn frenhin arnynt hwy, i wneuthur barn a chyfiawnder.

9 A hi a roddodd i'r brenhin chwech ugain talent o aur, a pher-aroglau lawer iawn, a meini gwerthfawr: ac ni bu 'r fath ber-aroglau a'r rhai a roddodd brenhines Seba i'r brenhin Salomon.

10 Gweision Hiram hefyd, a gweision Salomon, y rhai a ddygasant aur o Ophir, a ddygasant goed algummim, a meini gwerthfawr.

11 A'r brenhin a wnaeth o'r coed algummim † risiau i dŷ'r ARGLWYDD, ac i dŷ'r brenhin, a thelynau a nablau i'r cantorion: ac ni welsid eu math o'r blaen yngwlâd Judah.

† Heb. *brif-ffyrdd.*

12 A'r brenhin Salomon a roddodd i frenhines Seba ei holl ddymuniad, a'r hyn a ofynodd hi, heb law 'r hyn a ddygasai hi i'r brenhin. Felly hi a ddychwelodd, ac a aeth i'w gwlad, hi a'i gweision.

13 ¶ A phwys yr aur a ddeuai i Salomon bob blwyddyn, oedd chwe chant a thri ugain a chwech o dalentau aur;

14 Heb law 'r *hyn* yr oedd y marchnadwŷr a'r marsiandwŷr yn *eu* dwyn: a holl frenhinoedd Arabia, a thywysogion y wlad, oedd yn dwyn aur ac arian i Salomon.

15 ¶ A'r brenhin Salomon a wnaeth ddau can tarian o aur dilin: chwe chan *sicl* o aur dilin a roddodd efe ym mhob tarian.

16 A thri chant o fwcledi o aur dilin: tri chan *sicl* o aur a roddodd efe ym mhob bwcled. A'r brenhin a'u gosododd hwynt yn nhŷ coed Libanus.

17 ¶ A'r brenhin a wnaeth orseddfa fawr o ifori, ac a'i gwisgodd ag aur pur.

18 A chwech o risiau *oedd* i'r orseddfa, a throedle o aur, ynglŷn wrth yr orseddfa, a chanllawiau o bob tu i'r eisteddle, a dau lew yn sefyll wrth y canllawiau;

19 A deuddeg o lewod yn sefyll yno ar y chwe gris o bob tu. Ni wnaethpwyd y fath mewn un deyrnas.

20 ¶ A holl lestri dïod y brenhin Salomon *oedd* o aur, a holl lestri tŷ coed Libanus *oedd* aur ‡ pur: § nid oedd yr un o arian; nid oedd dim bri arno yn nyddiau Salomon.

‡ Heb. *caeedig.*
§ Neu, *nid oedd arian ynddynt.*

21 Canys llongau 'r brenhin oedd yn myned i Tharsis gyd â gweision Hiram: unwaith yn y tair blynedd y deuai llongau Tharsis yn dwyn aur, ac arian, ‖ ac ifori, ac eppaod, a pheunod.

‖ Neu, *dannedd elephant.*

22 A'r brenhin Salomon a ragorodd ar holl frenhinoedd y ddaear mewn cyfoeth a doethineb.

23 ¶ A holl frenhinoedd y ddaear oedd yn ceisio *gweled* wyneb Salomon, i wrando ei ddoethineb a roddasai DUW yn ei galon ef.

24 A hwy a ddygasant bob un ei anrheg, llestri arian, a llestri aur, a gwisgoedd, arfau, a pher-aroglau, meirch a mulod, dogn bob blwyddyn.

25 ¶ Ac [b] yr oedd gan Salomon bedair mil o bresebau meirch a cherbydau, a deuddeng mil o wŷr meirch: ac efe a'u cyfleodd hwynt yn ninasoedd y cerbydau, a chyd â'r brenhin yn Jerusalem.

[b] 1 Bren. 4. 26. a 10. 26. Pen. 1. 14.
[c] 1 Bren. 4. 21.

26 ¶ [c] Ac yr oedd efe yn arglwyddiaethu ar yr holl frenhinoedd, [d] o'r † afon hyd wlad y Philistiaid, a hyd derfyn yr Aipht.

[d] Gen. 15. 18.
† Sef, *Euphrates.*

27 A'r brenhin a ‡ wnaeth yr arian yn Jerusalem fel cerrig, a'r cedrwŷdd a wnaeth efe fel y sycomorwŷdd yn y doldir, o amldra.

‡ Heb. *roddes.*

28 [e] Ac yr oeddynt hwy yn dwyn meirch i Salomon o'r Aipht, ac o bob gwlad.

[e] 1 Bren. 10. 28. Pen. 1. 16.

29 ¶ A'r rhan arall o [f] weithredoedd Salomon, cyntaf a diwaethaf, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yngeiriau Nathan y prophwyd, ac ym mhrophwydoliaeth Ahiah y Siloniad, ac yngweledigaethau [g] Ido y gweledydd yn erbyn Jeroboam mab Nebat?

[f] 1 Bren. 11. 41.
[g] Pen. 12. 15. a 13. 22.

30 A Salomon a deyrnasodd yn Jerusalem ar holl Israel ddeugain mlynedd.

31 A Salomon a hunodd gyd â'i dadau, a chladdwyd ef yn ninas Dafydd ei dad; a Rehoboam ei fab a deyrnasodd yn ei le ef. 975.

## PEN. X.

1 *Yr Israeliaid yn ymgasglu yn Sichem i goroni Rehoboam, a thrwy Jeroboam yn ceisio ganddo eu rhyddhâu hwy.* 6 *Rehoboam yn gwrthod cyngor yr hynafgwŷr, a thrwy gyngor y gwŷr ieuaingc, yn eu hatteb hwy yn arw.* 16 *Deg llwyth yn cilio oddi wrtho ef, yn lladd Hadoram, ac yn ei yrru yntau i ffo.*

A [a] Rehoboam a aeth i Sichem; canys i Sichem y daethai holl Israel i'w urddo ef yn frenhin. 975.

[a] 1 Bren. 12. 1, &c.

2 A phan glybu Jeroboam mab Nebat, (ac yntau yn yr Aipht, [b] lle y ffoisai efe o ŵydd Salomon y brenhin) Jeroboam a ddychwelodd o'r Aipht.

[b] 1 Bren. 11. 40.

3 Canys hwy a anfonasent, ac a alwasent am dano ef. A Jeroboam a holl Israel a ddaethant, ac a ymddiddanasant â Rehoboam, gan ddywedyd,

4 Dy dad a wnaeth ein hiau ni yn drom; yn awr gan hynny ysgafnhâ *beth* o gaethiwed caled dy dad, ac o'i iau drom ef yr hon a roddodd efe arnom ni, a ni a'th wasanaethwn di.

5 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ym mhen y tridiau dychwelwch attaf fi. A'r bobl a aethant ymaith.

6 ¶ A'r brenhin Rehoboam a ymgynghorodd â'r henuriaid a fuasai yn sefyll o flaen Salomon ei dad ef pan ydoedd efe yn fyw, gan ddywedyd, Pa fodd yr ydych chwi yn cynghori atteb y bobl hyn?

7 A hwy a lefarasant wrtho, gan ddywedyd, Os byddi yn dda i'r bobl yma, a'u boddloni hwynt, ac *os* dywedi wrthynt eiriau têg, hwy a fyddant yn weision i ti byth.

8 Ond efe a wrthododd gyngor yr henuriaid a gynghorasent hwy iddo; ac efe a ymgynghorodd â'r gwŷr ieuaingc a gynnyddasent gyd ag ef, a'r rhai oedd yn sefyll ger ei fron ef.

9 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Beth yr ydych chwi yn ei gynghori, fel yr attebom y bobl hyn, y rhai a lefarasant wrthyf, gan ddywedyd, Ysgafnhâ *beth ar* yr iau a osododd dy dad arnom ni?

10 A'r gwŷr ieuaingc y rhai a gynnyddasent gyd ag ef a lefarasant wrtho, gan ddywedyd, Fel hyn y dywedi wrth y bobl a lefarasant wrthyt, gan ddywedyd, Dy dad a wnaeth ein hiau ni yn drom, ysgafnhâ dithau *hi* oddi arnom ni: fel hyn y dywedi wrthynt; Fy *mys* bach *fydd* ffyrfach nâ llwynau fy nhad.

11 Ac yn awr fy nhad a'ch llwythodd chwi â iau drom, minnau hefyd a 'chwanegaf ar eich iau chwi: fy nhad a'ch

**ceryddodd chwi â ffrewyllau, a minnau** *a'ch*
*cerydda**f* ag ysgorpionau.
12 Yna y daeth Jeroboam, a'r holl bobl,
at Rehoboam y trydydd dydd, fel y llefar-
asai'r brenhin, gan ddywedyd, Dychwelwch
attaf fi y trydydd dydd.
13 A'r brenhin a'u hattebodd hwynt yn
arw: a'r brenhin Rehoboam a wrthododd
gyngor yr henuriaid.
14 Ac efe a lefarodd wrthynt yn ol cyngor
y gwŷr ieuaingc, gan ddywedyd, Fy nhad
a wnaeth eich iau chwi yn drom, a minnau a
'chwanegaf arni hi: fy nhad a'ch ceryddodd
chwi â ffrewyllau, a minnau *a'ch cerydda**f***
*chwi* ag ysgorpionau.
15 Ac ni wrandawodd y brenhin ar y
e 1 Bren. 12. 15, 24. bobl; o herwydd [c] yr achos oedd oddi wrth
Dduw, fel y cwblhâi'r Arglwydd ei air a
d 1 Bren. 11. 29. lefarasai efe trwy [d] law Ahïah y Siloniad
wrth Jeroboam fab Nebat.
16 ¶ A phan *welodd* holl Israel na wran-
dawai'r brenhin arnynt hwy, y bobl a
attebasant y brenhin, gan ddywedyd, Pa
ran *sydd* i ni yn Dafydd? nid *oes* chwaith
*i ni* etifeddiaeth ym mab Jesse: O Israel,
*aed* pawb i'w pebyll; edrych yn awr *ar*
dy dŷ dy hun, Dafydd. Felly holl Israel a
aethant i'w pebyll.
17 Ond meibion Israel, y rhai oedd yn
preswylio yn ninasoedd Judah, Rehoboam a
deyrnasodd arnynt hwy.
18 A'r brenhin Rehoboam a anfonodd
Hadoram, yr hwn *oedd* ar y dreth, a meibion
Israel a'i llabyddiasant ef â meini, fel y bu
† Heb. ymegniodd. efe farw: ond y brenhin Rehoboam a † bry-
surodd i fyned i'*w* gerbyd, i ffoi i Jerusalem.
19 Ac Israel a wrthryfelasant yn erbyn
tŷ Ddafydd hyd y dydd hwn.

## PEN. XI.

1 *Rehoboam yn codi llu i ddwyn Israel dano, a Semaiah yn gwarafun iddo.* 5 *Rehoboam yn cadarnhâu'r deyrnas ag ymddiffynfeydd ac angenrheidiau.* 13 *Yr offeiriaid a'r Lefiaid, a'r rhai oedd yn ofni Duw, wedi i Jeroboam eu gwrthod, yn cadarnhâu teyrnas Judah.* 18 *Gwragedd a phlant Rehoboam.*

975. A [a] Phan ddaeth Rehoboam i Jerusalem,
a 1 Bren. 12. 21, &c. efe a gasglodd o holl dŷ Judah, ac o
Benjamin, gant a phedwar ugain mil *o wŷr*
dewisol, cymmwys i ryfel, i ymladd ag Is-
rael, *ac* i ddwyn drachefn y frenhiniaeth i
Rehoboam.
2 Ond gair yr Arglwydd a ddaeth at
Semaiah gwr Duw, gan ddywedyd,
3 Dywed wrth Rehoboam fab Salomon
brenhin Judah, ac wrth holl Israel yn Judah
a Benjamin, gan ddywedyd,
4 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Nac
ewch i fynu, ac nac ymleddwch yn erbyn
eich brodyr; dychwelwch bob un i'w dŷ ei
hun: canys trwof fi y gwnaethpwyd y peth
hyn. A hwy a wrandawsant ar eiriau'r
Arglwydd, ac a ddychwelasant, heb fyned
yn erbyn Jeroboam.
5 ¶ A Rehoboam a drigodd yn Jerusalem,
ac a adeiladodd ddinasoedd cedyrn yn Judah.
6 Ac efe a adeiladodd Bethlehem, ac
Etam, a Thecoa,
7 A Bethsur, a Socho, ac Adulam,
8 A Gath, a Maresah, a Ziph,
9 Ac Adoraim, a Lachis, ac Azecah,
10 A Sorah, ac Ajalon, a Hebron, y rhai
*oedd* yn Judah, ac yn Benjamin; dinasoedd
o gadernid.
11 Ac efe a gadarnhaodd yr amddiffynfa-
oedd, ac a osododd flaenoriaid ynddynt hwy,
a chellau bwyd, ac olew, a gwin.
12 Ac ym mhob dinas *y gosododd efe* da-
riannau, a gwaywffyn, ac a'u cadarnhaodd
hwynt yn gadarn iawn, ac eiddo ef oedd Ju-
dah a Benjamin.
13 ¶ A'r offeiriaid a'r Lefiaid, y rhai *oedd* 974.
yn holl Israel, a gyrchasant atto ef o'u holl
derfynau.
14 Canys y Lefiaid a adawsant [b] eu meus- b Num. 35. 2.
ydd pentrefol, a'u meddiant, ac a ddaethant
i Judah, ac i Jerusalem: canys [c] Jeroboam c Pen. 13. 9.
a'i feibion a'u bwriasai hwynt ymaith o fod
yn offeiriaid i'r Arglwydd.
15 Ac [d] efe a osododd iddo offeiriaid i'r d 1 Bren. 12. 31.
uchelfeydd, ac i'r [e] cythreuliaid, ac i'r lloi, e Lef. 17. 7.
a wnaethai efe.
16 Ac ar eu hol hwynt, [f] o holl lwythau f Edrych Pen. 15. 9. a 30. 11, 18.
Israel, y rhai oedd yn rhoddi eu calon i
geisio Arglwydd Dduw Israel, a ddaeth-
ant i Jerusalem, i aberthu i Arglwydd
Dduw eu tadau.
17 Felly hwy a gadarnhasant frenhiniaeth
Judah, ac a gryfhasant Rehoboam fab Salo-
mon, dros dair blynedd: canys hwy a ro-
diasant yn ffordd Dafydd a Salomon dair
blynedd.
18 ¶ A Rehoboam a gymmerth Maha-
lath, ferch Jerimoth fab Dafydd, yn wraig
iddo, *ac* Abihail ferch Elïab fab Jesse.
19 A hi a ymddûg iddo ef feibion, *sef*
Jëus, a Samarïah, a Zaham.
20 Ac ar ei hol hi efe a gymmerth [g] Maa- g 1 Bren. 15. 2.
chah ferch Absalom: a hi a ymddûg iddo ef Hi a elwir *Michaiah merch Uriel,* Pen. 13. 2.
Abïah, ac Attai, a Ziza, a Selomith.
21 A Rehoboam a garodd Maachah ferch
Absalom yn fwy nâ'i holl wragedd a'i or-
dderchadon: canys deunaw o wragedd a
gymmerth efe, a thri ugain o ordderchadon;
ac efe a genhedlodd wyth ar hugain o feib-
ion, a thri ugain o ferched.
22 A Rehoboam [h] a osododd Abïah fab h Edrych Deut. 12. 15, 16, 17
Maachah yn ben, yn flaenor ar ei frodyr;
canys *yr oedd yn ei fryd* ei urddo ef yn
frenhin.
23 Ac efe a fu gall, ac a wasgarodd *rai*
o'i feibion i holl wledydd Judah a Benja-
min, i bob dinas gadarn, ac a roddes idd-
ynt hwy luniaeth yn helaeth: ac efe a
geisiodd lïaws o wragedd.

## PEN. XII.

1 *Rehoboam yn ymwrthod â Duw, a Sisac yn ei gospi ef.* 5 *Efe a'i dywysogion yn edifarhâu wrth bregeth Semaiah, ac yn cael ymwared rhag eu dinystrio, ond nid rhag eu hanrheithio.* 13 *Pa hŷd y teyrnasodd Rehoboam, a'i farwolaeth ef.*

AC wedi i Rehoboam sicrhâu'r frenhin- 973.
iaeth, a'i chadarnhâu, [a] efe a wrth- a 1 Bren. 14. 22.
ododd gyfraith yr Arglwydd, a holl Is-
rael gyd ag ef.
2 Ac yn y bummed flwyddyn i'r bren- 971.
hin Rehoboam, y daeth Sisac brenhin yr
Aipht i fynu yn erbyn Jerusalem ([b] o her- b 1 Bren. 14. 24, 25.
wydd iddynt wrthryfela yn erbyn yr Ar-
glwydd)
3 A mil a dau cant o gerbydau, a thri
ugeinmil o wŷr meirch; ac nid *oedd* rifer
ar y bobl a ddaeth gyd ag ef o'r Aipht, *sef*
y Lubiaid, y Succiaid, a'r Ethiopiaid.
4 Ac efe a ynnillodd y dinasoedd cedyrn,
y rhai *oedd* yn Judah, ac a ddaeth hyd Jeru-
salem.
5 ¶ Yna Semaiah y prophwyd a ddaeth

at Rehoboam, a thywysogion Judah, y rhai oedd wedi ymgasglu yn Jerusalem rhag ofn Sisac, ac a ddywedodd wrthynt, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Chwi a'm gwrthodasoch i, am hynny myfi a'ch gadewais chwi yn llaw Sisac.

6 Yna tywysogion Israel a'r brenhin a ymostyngasant ac a ddywedasant, Cyfiawn *yw*'r ARGLWYDD.

7 A phan welodd yr ARGLWYDD iddynt hwy ymostwng, daeth gair yr ARGLWYDD at Semaiah, gan ddywedyd, Hwy a ymostyngasant; *am hynny* ni ddifethaf hwynt, ond rhoddaf iddynt ymwared ar fyrder; ac ni thywelltir fy llid yn erbyn Jerusalem trwy law Sisac.

c Edrych Esay 26. 13.
8 Etto c byddant yn weision iddo ef, fel yr adnabyddont fy ngwasanaeth i, a gwasanaeth teyrnasoedd y gwledydd.

9 Yna Sisac brenhin yr Aipht a ddaeth i fynu yn erbyn Jerusalem, ac a gymmerth drysorau tŷ'r ARGLWYDD, a thrysorau tŷ'r brenhin, ac a'u dug hwynt ymaith oll: dug ymaith hefyd y tariannau aur d a wnaethai Salomon.

d 1 Bren. 10. 16. Pen. 9. 15

10 A'r brenhin Rehoboam a wnaeth yn eu lle hwynt dariannau pres, ac a'u rhoddodd *hwynt* i gadw dan law tywysogion gwŷr y † gard, y rhai oedd yn cadw drws tŷ'r brenhin.

† Neu, *gosgordd.*

11 A phan elai'r brenhin i dŷ'r ARGLWYDD, gwŷr y gard a ddeuent ac a'u cyrchent hwy, ac a'u dygent drachefn i ystafell gwŷr y gard.

12 A phan ymostyngodd efe, llid yr ARGLWYDD a ddychwelodd oddi wrtho ef, fel na's dinystriai yn hollol; ‡ ac yn Judah hefyd yr oedd pob peth yn dda.

‡ Neu, *ac etto yn Judah yr oedd pethau daionus.*

13 ¶ Felly y brenhin Rehoboam a ymgryfhaodd yn Jerusalem, ac a deyrnasodd: a mab e un mlwydd a deugain *oedd* Rehoboam pan ddechreuodd efe deyrnasu, a dwy flynedd ar bymtheg y teyrnasodd efe yn Jerusalem, f y ddinas a ddewisasai'r ARGLWYDD i osod ei enw ef ynddi, o holl lwythau Israel: ac enw ei fam *oedd* Naamah, Ammonees.

Edrych Gen. 18. 24, &c. 1 Bren. 14. 13. Pen. 19. 3.
e 1 Bren. 14. 21.
f Pen. 6. 6.

14 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg, canys ni § pharottôdd efe ei galon i geisio'r ARGLWYDD.

§ Neu, *sefydlodd*, neu, *osododd*, neu, *gyfeiriodd.*

15 Am y gweithredoedd cyntaf a diweddaf i Rehoboam, onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yngeiriau Semaiah y prophwyd, ac Ido y gweledydd, yn yr achau? A *bu* rhyfeloedd *rhwng* Rehoboam a Jeroboam yn wastadol.

958. 16 A Rehoboam a hunodd gyd â'i dadau, ac a gladdwyd yn ninas Dafydd; ac g Abïah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

g 1 Bren. 14. 31, *Abiam.*

## PEN. XIII.

1 *Abïah yn dyfod yn lle Rehoboam, ac yn rhyfela â Jeroboam:* 4 *yn adrodd ddaed oedd ei achos:* 13 *yn rhoi ei hyder ar Dduw, ac yn gorchfygu Jeroboam.* 21 *Gwragedd a phlant Abïah.*

958. AC a yn y ddeunawfed flwyddyn i'r brenhin Jeroboam y dechreuodd Abïah deyrnasu ar Judah.

a 1 Bren. 15. 1, &c.

2 Tair blynedd y teyrnasodd efe yn Jerusalem; ac enw ei fam ef *oedd* b Michaiah, merch Uriel o Gibeah. Ac yr oedd rhyfel rhwng Abïah a Jeroboam.

b Edrych Pen. 11. 20.

957. 3 Ac Abïah a gydiodd y rhyfel â llu o ryfelwŷr grymmus, *sef* pedwar can mil o wŷr etholedig: a Jeroboam a luniaethodd y rhyfel yn ei erbyn ef ag wyth gan mil o wŷr etholedig, grymmus, nerthol.

4 ¶ Ac Abïah a gyfododd ar fynydd Semaraim, yr hwn *sydd* ym mynydd Ephraim, ac a ddywedodd, O Jeroboam, a holl Israel, gwrandêwch fi;

5 Oni *ddylech* chwi wybod roddi o ARGLWYDD DDUW Israel y frenhiniaeth i Ddafydd ar Israel yn dragywydd, iddo ef ac i'w feibion, trwy c gyfammod halen?

c Num. 18. 19.

6 Etto d Jeroboam mab Nebat, gwas Salomon fab Dafydd, a gyfododd ac a wrthryfelodd yn erbyn ei arglwydd.

d 1 Bren. 11. 26.

7 Ac ofer ddynion, *sef* meibion y fall, a ymgasglasant atto ef, ac a ymgadarnhasant yn erbyn Rehoboam mab Salomon, pan oedd Rehoboam yn fachgen, ac yn wân ei galon, ac ni allai ymgadarnhâu i'w herbyn hwynt.

8 Ac yn awr yr ydych yn meddwl ymgadarnhâu yn erbyn brenhiniaeth yr ARGLWYDD, *yr hon sydd* yn llaw meibion Dafydd; ac *yr ydych* yn dyrfa fawr, a chyd â chwi *y mae*'r lloi aur e a wnaeth Jeroboam yn dduwiau i chwi.

e 1 Bren. 12. 28.

9 † Oni yrrasoch ymaith offeiriaid yr ARGLWYDD, meibion Aaron, a'r Lefiaid? ac f oni wnaethoch i chwi offeiriaid fel pobl y gwledydd *eraill?* pwy bynnag sydd yn dyfod ‡ i'w gyssegru â bustach ieuangc ac â saith o hyrddod, *hwnnw* sydd yn offeiriad i'r *rhai* nid *ydynt* dduwiau.

† Pen. 11. 14, 15.
f 1 Bren. 12. 31.
‡ Heb. *i lenwi ei law.* Edrych Exod. 29. 1. Lef. 8. 2.

10 Ninnau, yr ARGLWYDD *yw* ein DUW ni, ac ni's gwrthodasom ef; a'r offeiriaid y rhai sydd yn gwasanaethu'r ARGLWYDD *yw* meibion Aaron, a'r Lefiaid *sydd* yn eu gorchwyl.

11 g Ac y maent hwy yn llosgi i'r ARGLWYDD boeth-offrymmau bob bore a phob hwyr, ac arogl-darth peraidd; ac *yn cadw* trefn h y bara *gosod* ar y bwrdd pur, a'r canhwyllbren aur a'i lampau, i i losgi bob prydnawn: canys yr ydym ni yn cadw goruchwyliaeth yr ARGLWYDD ein DUW; ond chwi a'i gwrthodasoch ef.

g Pen. 2. 4.
h Lef. 24. 6.
i Exod. 27. 21. Lef. 24. 3.

12 Ac wele, DUW *sydd* ben gyd â ni, k a'i offeiriaid ef ag udgyrn soniarus i udganu yn eich erbyn chwi. O feibion Israel, l nac ymleddwch yn erbyn ARGLWYDD DDUW eich tadau; canys ni lwyddwch chwi.

k Num. 10. 8.
l Act. 5. 39.

13 ¶ Ond Jeroboam a barodd osod cynllwyn o amgylch, a dyfod o'u hol hwynt: felly'r oeddynt hwy o flaen Judah, a'r cynllwyn o'r tu ol iddynt.

14 A Judah a edrychodd yn ol, ac wele ryfel iddynt ym mlaen ac yn ol; a hwy a waeddasant ar yr ARGLWYDD, a'r offeiriaid a leisiasant mewn udgyrn.

15 A gwŷr Judah a floeddiasant: a phan waeddodd gwŷr Judah, DUW a darawodd Jeroboam, a holl Israel, o flaen Abïah a Judah.

16 A meibion Israel a ffoisant o flaen Judah: a DUW a'u rhoddodd hwynt i'w llaw hwynt.

17 Ac Abïah a'i bobl a'u tarawsant hwy â lladdfa fawr: a syrthiodd yn archolledig o Israel bûm can mil o wŷr etholedig.

18 Felly y darostyngwyd meibion Israel y pryd hynny; a meibion Judah a orfuant, o herwydd iddynt bwyso ar ARGLWYDD DDUW eu tadau.

19 Ac Abïah a erlidiodd ar ol Jeroboam, ac a ddug oddi arno ef ddinasoedd, Bethel a'i phentrefydd, a Jesanah a'i phentrefydd, ac Ephraim a'i phentrefydd.

20 Ac ni chafodd Jeroboam nerth mwyach yn nyddiau Abïah: ond yr ARGLWYDD a'i tarawodd ef, fel y bu efe farw.

21 ¶ Ond Abïah a ymgryfhaodd, ac a
gymmerth iddo bedair ar ddeg o wragedd,
ac a genhedlodd ddau fab ar hugain, ac un
ar bymtheg o ferched.
22 A'r rhan arall o hanes Abïah, a'i ffyrdd
ef, a'i eiriau, *y maent* yn ysgrifenedig yn
* Neu, historï. † llyfr y prophwyd m Ido.
m Pen. 12. 15.

## PEN. XIV.

1 *Asa yn dyfod ar ol Abïah, ac yn dilëu delw-addoliaeth; 6 a chwedi cael heddwch, yn cadarnhâu ei deyrnas ag amddiffynfeydd ac ag arfau: 9 yn galw ar Dduw, ac yn gorchfygu Zerah, ac yn yspeilio'r Ethiopiaid.*

955. FELLY Abïah a hunodd gyd â'i dadau, a
chladdasant ef yn ninas Dafydd; ac
a 1 Bren. 15. 8, &c. a Asa ei fab a deyrnasodd yn ei le ef. Yn ei
ddyddiau ef y cafodd y wlad lonydd ddeng
mlynedd.
2 Ac Asa a wnaeth yr hyn *oedd* dda ac
Cylch 951. union yngolwg yr ARGLWYDD ei DDUW.
3 Canys efe a fwriodd ymaith allorau
b Edrych Pen. 15. 17. y *duwiau* dïeithr, a'r b uchelfeydd, ac c a
c Exod. 34. 13. ddrylliodd y delwau, ac a dorrodd y llwyni:
4 Ac a orchymynodd i Judah geisio AR-
GLWYDD DDUW eu tadau, a gwneuthur y
gyfraith a'r gorchymyn.
5 Ac efe a fwriodd ymaith o holl ddinas-
† Heb. haul-ddelwau. oedd Judah yr uchelfeydd a'r † delwau: a
chafodd y frenhiniaeth lonydd o'i flaen ef.
6 ¶ Ac efe a adeiladodd ddinasoedd ce-
dyrn yn Judah, o herwydd bod y wlad yn
cael llonydd, ac nad *oedd* rhyfel yn ei erbyn
ef yn y blynyddoedd hynny; oblegid yr AR-
GLWYDD a roddasai lonyddwch iddo.
7 Am hynny efe a ddywedodd wrth Judah,
Adeiladwn y dinasoedd hyn, ac amgylchwn
*hwynt* â mur, â thyrau, â drysau, ac â barrau,
tra *fyddo*'r wlad o'n blaen ni; o herwydd i
ni geisio'r ARGLWYDD ein Duw, ni a'*i*
ceisiasom, ac efe a roddodd lonyddwch i ni
o amgylch. Felly hwy a adeiladasant, ac a
lwyddasant.
8 Ac yr oedd gan Asa lu *o wŷr* yn dwyn
tariannau a gwaywffyn, o Judah tri chan
mil, ac o Benjamin dau cant a phedwar
ugain mil yn dwyn tariannau, ac yn tynnu
bwa: y rhai hyn oll *oedd* wŷr grymmus.
941. 9 ¶ d A Zerah yr Ethiopiad a ddaeth allan
d Pen. 16. 8. yn eu herbyn hwynt, â llu o fil o filoedd,
ac â thri chant o gerbydau; ac a ddaeth
e Jos. 15. 44. hyd e Maresah.
10 Yna Asa a aeth allan yn ei erbyn ef,
a hwy a luniaethasant ryfel yn nyffryn Se-
phathah wrth Maresah.
11 Ac Asa a waeddodd ar yr ARGLWYDD
ei DDUW, ac a ddywedodd, O ARGLWYDD,
f 1 Sam. 14. 6. f nid *yw ddim* i ti gynnorthwyo, pa un byn-
nag ai gyd â llawer, ai gyd â'r rhai nid oes
ganddynt gryfdwr: cynnorthwya di ni, O
ARGLWYDD ein Duw; canys pwyso'r ydym
ni arnat ti, ac yn dy enw di y daethom yn
erbyn y dorf hon: O ARGLWYDD, ein Duw
ni *ydwyt* ti, na orfydded dyn i'th erbyn.
12 Felly'r ARGLWYDD a darawodd yr
Ethiopiaid o flaen Asa, ac o flaen Judah;
a'r Ethiopiaid a ffoisant.
13 Ac Asa a'r bobl *oedd* gyd ag ef a'u
herlidiasant hwy hyd Gerar: a syrthiodd
yr Ethiopiaid fel na allent ymadgryfhâu;
canys drylliasid hwynt o flaen yr AR-
GLWYDD, ac o flaen ei lu ef; a hwy a
ddygasant ymaith anrhaith fawr iawn.
14 A tharawsant yr holl ddinasoedd o
g Gen. 35. 5. Pen. 17. 10. amgylch Gerar; canys g yr oedd dychryn
yr ARGLWYDD arnynt hwy: a hwy a an-
rheithiasant yr holl ddinasoedd; canys an-
rhaith fawr oedd ynddynt.
15 Lluestai 'r anifeiliaid hefyd a darawsant
hwy, ac a gaeth-gludasant lawer o ddefaid
a chamelod, ac a ddychwelasant i Jerusalem.

## PEN. XV.

1 *Asa a Judah, a llawer o Israel, trwy annog prophwydoliaeth Azarïah mab Oded, yn gwneuthur cyhoedd gyfammod â Duw: 16 yn symmudo Maachah ei fam o fod yn frenhines, o herwydd ei delw-addoliaeth: 18 yn dwyn y pethau cyssegredig i dŷ Dduw, ac yn cael hir heddwch.*

AC yspryd Duw a ddaeth ar Azarïah fab 941.
Oded.
2 Ac efe a aeth allan † o flaen Asa, ac a † i gyfarfod.
ddywedodd wrtho, O Asa, a holl Judah, a
Benjamin, gwrandêwch fi; a Yr ARGLWYDD a Iago 4. 8.
*sydd* gyd â chwi, tra fyddoch gyd ag ef; ac
b os ceisiwch ef, chwi a'i cewch ef: ond c os b Adn. 4, 15.
gwrthodwch chwi ef, yntau a'ch gwrthyd 1 Chron. 28. 9.
chwithau.
3 d Dyddiau lawer *y bu* Israel heb y gwir Pen. 33. 12, 13.
DDUW, a heb offeiriad yn ddysgawdr, a Mat. 7. 7.
heb gyfraith. c Pen. 24. 20.
4 Ond e pan ddychwelent yn eu cyfyng-
dra at ARGLWYDD DDUW Israel, a'i geisio d Hos. 3. 4.
ef, efe a gaid ganddynt. e Deut. 4. 29.
5 Ac f yn yr amseroedd hynny nid *oedd*
heddwch i'r hwn oedd yn myned allan, f Barn. 5. 6.
nac i'r hwn oedd yn dyfod i mewn: ond
blinder lawer *oedd* ar holl breswylwŷr y
gwledydd.
6 A chenedl a ‡ ddinystriwyd gan genedl, ‡ Heb. ddrylliwyd.
a dinas gan ddinas: oblegid Duw oedd yn
eu poeni hwy â phob aflwydd.
7 Ymgryfhêwch gan hynny, ac na laesed
eich dwylaw: canys y mae gwobr i'ch
gwaith chwi.
8 A phan glybu Asa y geiriau hyn, a phro-
phwydoliaeth Oded y prophwyd, efe a
gryfhaodd, ac a fwriodd ymaith y § ffiaidd § Heb. ffieiddra.
*eilunod* o holl wlad Judah, a Benjamin, ac
o'r holl ddinasoedd a ynnillasai efe o fynydd
Ephraim, ac a adnewyddodd allor yr AR-
GLWYDD, yr hon *oedd* o flaen porth yr
ARGLWYDD.
9 Ac efe a gynhullodd holl Judah, a Ben-
jamin, a'r g dïeithriaid gyd â hwynt, o g Pen. 11. 16.
Ephraim a Manasseh, ac o Simeon: (canys
hwy a syrthiasant atto ef yn aml o Israel,
pan welsant *fod* yr ARGLWYDD ei DDUW
gyd ag ef.)
10 Felly hwy a ymgynnullasant i Jeru-
salem, yn y trydydd mis, yn y bymthegfed
flwyddyn o deyrnasiad Asa.
11 A hwy a aberthasant i'r ARGLWYDD
y dwthwn hwnnw, o'r h anrhaith a ddyg- h Pen. 14. 13.
asent, saith gant o eidionau, a saith mîl o
ddefaid.
12 A hwy a aethant dan gyfammod i
geisio ARGLWYDD DDUW eu tadau, â'u
holl galon, ac â'u holl enaid:
13 A i phwy bynnag ni cheisiai AR- i Deut. 13.
GLWYDD DDUW Israel, fod ei roddi ef i 5, 9, 15.
farwolaeth, yn fychan *ac* yn fawr, yn wr
*ac* yn wraig.
14 A hwy a dyngasant i'r ARGLWYDD
â llef uchel, ac â bloedd, ag udgyrn hefyd,
ac â thrwmpedau.
15 A holl Judah a lawenychasant o her-
wydd y llw; canys â'u holl galon y tyngа-
sent, ac k â'u holl ewyllys y ceisiasant ef, a k Adn. 2.
hwy a'i cawsant ef: a'r ARGLWYDD a rodd-
odd lonyddwch iddynt o amgylch.

951. 16 ¶ A'r brenhin Asa a symmudodd
f 1 Bren. 15. 13. f Maachah ei fam o *fod* yn frenhines; o he-
rwydd gwneuthur o honi † ddelw mewn
† Heb. *ddychryn.* llwyn: ac Asa a dorrodd ei delw hi, ac
a'i drylliodd, ac a'i llosgodd wrth afon Ci-
dron.
m Pen. 14. 3, 5. 17 Ond m ni thynnwyd ymaith yr uchel-
feydd o Israel: etto yr oedd calon Asa yn
berffaith ei holl ddyddiau ef.
18 ¶ Ac efe a ddug i mewn i dŷ 'r Ar-
GLWYDD yr hyn a gyssegrasai ei dad, a'r
hyn a gyssegrasai efe ei hun, arian, ac aur,
a llestri.
921. 19 Ac ni bu ryfel *mwyach* hyd y bym-
thegfed flwyddyn ar hugain o deyrnasiad
Asa.

## PEN. XVI.

1 *Asa, trwy gymmorth y Syriaid, yn rhwy-
stro i Baasa adeiladu Ramah. 7 Hanani
yn ei argyoeddi ef am hynny, ac yntau yn
ei fwrw ef ynghharchar. 11 Ym mhlith
ei weithredoedd eraill, y mae efe, yn ei
glefyd, yn ymgais, nid â Duw, ond â'r
physygwŷr. 13 Ei farwolaeth ef a'i gla-
ddedigaeth.*

920. YN yr unfed flwyddyn ar bymtheg ar
a 1 Bren. 15, 17. hugain o deyrnasiad Asa, a y daeth
Baasa brenhin Israel i fynu yn erbyn Judah,
ac a adeiladodd Ramah, fel na adawai i
*neb* fyned allan na dyfod i mewn at Asa
brenhin Judah.
2 Yna Asa a ddug allan arian, ac aur, o
drysorau tŷ 'r ARGLWYDD, a thŷ 'r bren-
hin, ac a'i hanfonodd at Benhadad brenhin
† Heb. *Darmesec.* Syria, yr hwn oedd yn trigo yn † Damas-
cus, gan ddywedyd,
3 Cyfammod *sydd* rhyngof fi a thi, fel *y*
*bu* rhwng fy nhad i a'th dad dithau: wele,
anfonais attat arian, ac aur; dos, torr dy
gyfammod â Baasa brenhin Israel, fel y
cilio efe oddi wrthyf fi.
4 A Benhadad a wrandawodd ar y bren-
hin Asa, ac a anfonodd dywysogion ei lu-
oedd yn erbyn dinasoedd Israel, a hwy a
darawsant Ijon, a Dan, ac Abel-maim, a
holl drysor-ddinasoedd Naphtali.
5 A phan glybu Baasa *hynny,* efe a beid-
iodd ag adeiladu Ramah, ac a adawodd ei
waith i sefyll.
6 Yna Asa'r brenhin a gymmerth holl Ju-
dah, a hwy a gludasant ymaith gerrig Ra-
mah, a'i choed, â'r rhai yr adeiladai Baasa;
ac a adeiladodd â hwynt Geba, a Mispah.
b 1 Bren. 16. 1. 7 ¶ Y pryd hynny y daeth b Hanani y
Pen. 19. 2. gweledydd at Asa frenhin Judah, ac a ddy-
wedodd wrtho, Gan i ti roi dy bwys ar
frenhin Syria, ac na roddaist dy bwys ar
yr ARGLWYDD dy DDUW, am hynny y
diangodd llu brenhin Syria o'th law di.
941. 8 Onid oedd c yr Ethiopiaid a'r Lubiaid
c Pen. 14. 9. yn ‡ llu dirfawr, â cherbydau ac â gwŷr
‡ Heb. *lliaws.* meirch yn aml iawn? ond am it' roi dy
bwys ar yr ARGLWYDD, efe a'u rhoddodd
hwynt yn dy law di.
d Job 34. 21. 9 Canys d y mae llygaid yr ARGLWYDD
yn edrych ar yr holl ddaear, § i'w ddangos
Diar. 5. 21. ei hun yn gryf gyd *â'r rhai sydd* â'u calon
a 15. 3.
Jer. 16. 17. yn berffaith tu ag atto ef. Ynfyd y gwnaeth-
a 32. 19. ost yn hyn; am hynny e rhyfeloedd fydd
Zec. 4. 10. i'th erbyn o hyn allan.
§ Heb. *i ymgryf-hau.* 10 Yna y digiodd Asa wrth y gweledydd,
ac a'i rhoddodd ef mewn carchardy; canys
e 1 Bren. 15. 32. *yr oedd efe* yn ddigllon wrtho am *y peth*
hyn. Ac Asa a ‖ orthrymmodd *rai o'r* bobl
‖ Heb. *ysigodd.* y pryd hynny.
11 ¶ Ac wele, gweithredoedd Asa, y
rhai cyntaf a'r rhai diweddaf, wele, *y maent*
yn ysgrifenedig yn llyfr brenhinoedd Judah
ac Israel.
12 Ac Asa a glefychodd o'i draed yn y
bedwaredd flwyddyn ar bymtheg ar hu-
gain o'i deyrnasiad, nes i'w glefyd *fyned*
yn ddirfawr; etto ni cheisiodd efe'r AR-
GLWYDD yn ei glefyd, ond y meddygon.
13 ¶ Ac Asa a hunodd gyd â'i dadau, ac 914.
a fu farw yn yr unfed flwyddyn a deugain
o'i deyrnasiad.
14 A chladdasant ef yn ei feddrod ei hun,
yr hwn a † wnaethai efe iddo yn ninas Da- † Heb. *gloddiasai.*
fydd, a rhoddasant ef i orwedd mewn gwely
a lanwasid f â pher-aroglau o amryw ryw- f Gen. 50. 2.
ogaethau, wedi eu gwneuthur trwy waith
apothecari; a hwy a gynneuasant iddo ef
g gynneu mawr iawn. g Pen. 21. 19.

## PEN. XVII.

1 *Jehosaphat yn dyfod ar ol Asa, yn teyrnasu
yn ddaionus, ac yn ffynnu; 7 yn anfon
Lefiaid gyd â'r pennaethiaid i ddysgu Ju-
dah. 10 Duw yn dychrynu ei elynion ef, a
rhai o honynt yn dwyn iddo anrhegion a
theyrnged. 12 Ei fawredd, a'i gapteniaid,
a'i luoedd ef.*

A a Jehosaphat ei fab a deyrnasodd yn ei 914.
le ef, ac a ymgryfhaodd yn erbyn a 1 Bren. 15. 24.
Israel.
2 Ac efe a roddodd fyddinoedd ym
mhob un o gaerog ddinasoedd Judah, ac a
roddes raglawiaid yngwlad Judah, ac yn
b ninasoedd Ephraim, y rhai a ynillasai b Pen. 15. 8.
Asa ei dad ef.
3 A'r ARGLWYDD a fu gyd â Jehosa-
phat, o herwydd iddo rodio yn ffyrdd cyn-
taf Dafydd ei dad, ac nad ymofynodd â
Baallm:
4 Eithr Duw ei dad a geisiodd efe, ac
yn ei orchymynion ef y rhodiodd, ac nid
yn ol gweithredoedd Israel.
5 Am hynny'r ARGLWYDD a sicr-
haodd y frenhiniaeth yn ei law ef; a holl
Judah c a roddasant anrhegion i Jehosaphat; c 1 Sam. 10. 27.
ac yr ydoedd iddo olud ac anrhydedd yn
helaeth.
6 † Ac efe a ddyrchafodd ei galon yn 913.
ffyrdd yr ARGLWYDD: ac d efe a fwriodd † Neu, *A'i galon a ymgysurodd.*
hefyd yr uchelfeydd a'r llwyni allan o
Judah.
7 ¶ Hefyd yn y drydedd flwyddyn o'i 912.
deyrnasiad, efe a anfonodd at ei dywysog- d Edrych 1 Bren. 22. 43.
ion, *sef* Benhail, ac Obadïah, a Zecharïah, a
Nethaneel, a Michaiah, i ddysgu yn ninas- Pen. 20. 33.
oedd Judah.
8 A chyd â hwynt *yr anfonodd efe* Lefi-
aid, Semaiah, a Nethanïah, a Zebadïah, ac
Asahel, a Semiramoth, a Jehonathan, ac
Adonïah, a Thobïah, a Thob-adonïah, y Le-
fiaid; a chyd â hwynt Elisama, a Jehoram,
yr offeiriaid.
9 A hwy a ddysgasant yn Judah, a chyd
â hwynt *yr oedd* llyfr cyfraith yr AR-
GLWYDD: felly'r amgylchasant hwy
holl ddinasoedd Judah, ac y dysgasant y
bobl.
10 ¶ Ac e arswyd yr ARGLWYDD oedd e Gen. 35. 5.
ar holl deyrnasoedd y gwledydd *oedd* o am-
gylch Judah, fel nad ymladdasant hwy yn
erbyn Jehosaphat.
11 A *rhai* o'r Philistiaid oedd yn dwyn
i Jehosaphat anrhegion, a theyrn-ged o ar-
ian: yr Arabiaid hefyd oedd yn dwyn iddo
ef ddiadelloedd, saith mil a saith gant o
hyrddod, a saith mil a saith gant o fychod.

12 ¶ Felly Jehosaphat oedd yn myned
rhagddo, ac yn cynnyddu yn uchel; ac efe
† Neu, *gestyll.* a adeiladodd yn Judah † balasau, a dinas-
oedd trysorau.
13 A llawer o waith oedd ganddo ef yn
ninasoedd Judah; a rhyfelwŷr cedyrn nerth-
ol yn Jerusalem.
14 A dyma eu rhifedi hwynt, yn ol tŷ eu
tadau: O Judah yn dywysogion miloedd, *yr*
*oedd* Adnah y pennaf, a chyd ag ef dri chan
mil o *wŷr* cedyrn nerthol.
15 A cher ei law ef, Jehohanan y tywysog,
a chyd ag ef ddau cant a phedwar ugain mil.
16 A cher llaw iddo ef, Amasiah mab
Zichri, yr hwn o'i wirfodd a ymroddodd i'r
ARGLWYDD; a chyd ag ef ddau can mil
*o wŷr* cedyrn nerthol.
17 Ac o Benjamin, *yr oedd* Eliada yn *wr*
cadarn nerthol, a chyd ag ef ddau can mil
yn arfogion â bwaau a thariannau.
18 A cher llaw iddo ef, Jehozabad, a chyd
ag ef gant a phedwar ugain mil yn barod i
ryfel.
19 Y rhai hyn oedd yn gwasanaethu'r
f Adn. 2. brenhin, heb law'r f rhai a roddasai'r bren-
hin yn y dinasoedd caerog, trwy holl Judah.

PEN. XVIII.

1 *Jehosaphat yn ymgyfathrachu ag Ahab, ac yn myned gyd ag ef i Ramoth Gilead.* 4 *Gau-brophwydi yn twyllo Ahab, a'i ladd ef yn ol gair Micheah.*

897. AC i Jehosaphat yr ydoedd golud ac
a 2 Bren. 8. 18. anrhydedd yn helaeth; ac efe a a
ymgyfathrachodd ag Ahab.
b 1 Bren. 22. 2. 2 b Ac ym mhen *ennyd* o flynyddoedd efe
a aeth i wared at Ahab i Samaria. Ac Ahab
a laddodd ddefaid a gwartheg lawer, iddo ef
ac i'r bobl *oedd* gyd ag ef, ac a'i hannogodd
ef i fyned i fynu *gyd ag ef* i Ramoth Gilead.
3 Ac Ahab brenhin Israel a ddywedodd
wrth Jehosaphat brenhin Judah, A ai di
gyd â mi i Ramoth Gilead? Yntau a ddy-
wedodd wrtho, *Yr ydwyf* fi fel tithau, a'm
pobl i fel dy bobl dithau, a *byddwn* gyd â
thi yn y rhyfel.
4 ¶ Jehosaphat hefyd a ddywedodd wrth
c 1 Sam. 23. 2, 4, 9. frenhin Israel, c Ymgynghora, attolwg, hedd-
2 Sam. 2. 1. yw â gair yr ARGLWYDD.
5 Am hynny brenhin Israel a gasglodd
o'r prophwydi bedwar cant o wŷr, ac a
ddywedodd wrthynt, A awn ni yn erbyn
Ramoth Gilead i ryfel, neu a beidiaf fi?
Dywedasant hwythau, Dos i fynu; canys
Duw a'i dyry yn llaw'r brenhin.
6 Ond Jehosaphat a ddywedodd, Onid *oes*
yma *un* prophwyd i'r ARGLWYDD etto
mwyach, fel yr ymgynghorem ag ef?
7 A brenhin Israel a ddywedodd wrth
Jehosaphat, *Y mae* etto un gwr trwy'r hwn
*y gallem* ymgynghori â'r ARGLWYDD: ond
y mae yn gas gennyf fi ef: canys nid yw'n
prophwydo i mi ddaioni, ond drygioni
erioed: efe *yw* Micheah mab Imla. A dy-
wedodd Jehosaphat, Na ddyweded y bren-
hin felly.
8 A brenhin Israel a alwodd ar un o'i
† Neu, *eunuchiaid.* † ystafellyddion, ac a ddywedodd, Prysura
Micheah fab Imla.
9 A brenhin Israel a Jehosaphat brenhin
Judah oeddynt yn eistedd bob un ar ei
deyrn-gadair, wedi eu gwisgo mewn *bren-*
*hinol* wisgoedd, eistedd yr oeddynt mewn
llannerch *wrth* ddrws porth Samaria; a'r
holl brophwydi oedd yn prophwydo gêr eu
bron hwynt.

10 A Sedeciah mab Cenaanah a wnaeth-
ai iddo ei hun gyrn heiyrn, ac efe a ddywed-
odd, Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD,
A'r rhai hyn y corni di 'r Syriaid, nes it' eu
difa hwynt.
11 A'r holl brophwydi oedd yn prophwydo
fel hyn, gan ddywedyd, Dos i fynu i Ra-
moth Gilead, a ffynna: canys yr AR-
GLWYDD a'i dyry *hi* yn llaw y brenhin.
12 A'r gennad a aethai i alw Micheah, a
lefarodd wrtho ef, gan ddywedyd, Wele
eiriau'r prophwydi yn ‡ un air yn dda i'r ‡ Heb. *un cnau.*
brenhin: bydded gan hynny, attolwg, dy
air dithau fel un o'r rhai hynny, a dywed y
goreu.
13 A Micheah a ddywedodd, *Fel mai*
byw'r ARGLWYDD, d yr hyn a ddywedo fy d Num. 22. 18, 20. 35.
NUW, hynny a lefaraf fi. a 23. 12, 16.
14 A phan ddaeth efe at y brenhin, y a 24. 13.
brenhin a ddywedodd wrtho, Micheah, a 1 Bren. 22. 14.
awn ni i ryfel yn erbyn Ramoth Gilead,
neu a beidiaf fi? Dywedodd yntau, Ewch
i fynu, a ffynnwch, a rhoddir hwynt yn eich
llaw chwi.
15 A'r brenhin a ddywedodd wrtho, Pa
sawl gwaith y'th dynghedaf di, na leferech
wrthyf fi ond gwirionedd yn enw'r AR-
GLWYDD?
16 Yna efe a ddywedodd, Gwelais holl
Israel yn wasgaredig ar y mynyddoedd, fel
defaid ni *byddai* iddynt fugail. A dywed-
odd yr ARGLWYDD, Nid *oes* feistr arnynt
hwy; dychweled pob un i'w dŷ ei hun
mewn tangnefedd.
17 (A brenhin Israel a ddywedodd wrth
Jehosaphat, Oni ddywedais i wrthyt, na
phrophwydai efe ddaioni i mi, ond § dryg- § Neu, *er drygioni.*
ioni?)
18 Yntau a ddywedodd, Gan hynny
gwrando air yr ARGLWYDD, Gwelais yr AR-
GLWYDD yn eistedd ar ei orseddfa, a holl
lu y nefoedd yn sefyll ar ei ddeheulaw, ac
*ar* ei law aswy.
19 A dywedodd yr ARGLWYDD, Pwy a
dwylla Ahab brenhin Israel, fel yr elo efe i
fynu, ac y syrthio yn Ramoth Gilead? Ac
un a lefarodd gan ddywedyd fel hyn, ac
arall gan ddywedyd fel hyn.
20 Yna e yspryd a aeth allan, ac a safodd e Job 1. 6.
ger bron yr ARGLWYDD, ac a ddywedodd,
Myfi a'i twyllaf ef. A dywedodd yr AR-
GLWYDD wrtho, Pa fodd?
21 Dywedodd yntau, Myfi a af allan, ac
a fyddaf yn yspryd celwyddog yngenau ei
holl brophwydi ef. A dywedodd *yr AR-*
*GLWYDD*, Twylli, a gorchfygi: dos allan,
a gwna felly.
22 Ac yn awr wele'r f ARGLWYDD a f Job 12. 16.
roddodd yspryd celwyddog yngenau dy bro-
phwydi hyn; a'r ARGLWYDD a lefarodd Esay 19. 14.
ddrwg am danat ti. Ezec. 14. 9.
23 Yna Sedeciah mab Cenaanah a nes-
aodd, ac g a darawodd Micheah dan *ei* gern, g Jer. 20. 2.
ac a ddywedodd, Pa ffordd yr aeth yspryd Marc 14. 65.
yr ARGLWYDD oddi wrthyf fi i ymddiddan
â thydi? Act. 23. 2.
24 A Micheah a ddywedodd, Wele, ti a
gai weled y dwthwn hwnnw, pan elych di
‖ o 'stafell i 'stafell i ymguddio. ‖ Heb. *i 'stafell mewn ystafell.*
25 A brenhin Israel a ddywedodd, Cym-
merwch Micheah, a dygwch ef yn ei ol at
Amon tywysog y ddinas, ac at Joas mab y
brenhin;
26 A dywedwch, Fel hyn y dywedodd y
brenhin, Rhowch hwn yn y carchardy, a
bwydwch ef â bara cystudd, ac â dwfr

blinder, nes i mi ddyfod eilwaith mewn
heddwch.
27 Yna y dywedodd Micheah, Os gan
ddychwelyd y dychweli di mewn hedd-
wch, ni lefarodd yr ARGLWYDD ynof fi.
Efe a ddywedodd hefyd, Gwrandewch *hyn*,
yr holl bobl.
28 Felly brenhin Israel a Jehosaphat bren-
hin Judah a aethant i fynu i Ramoth Gi-
lead.
29 A brenhin Israel a ddywedodd wrth
Jehosaphat, Mi a newidiaf fy nillad, ac a
af i'r rhyfel; ond gwisg di dy ddillad.
Felly brenhin Israel a newidiodd ei ddillad,
a hwy a aethant i'r rhyfel.
30 A brenhin Syria a orchymynasai i
dywysogion y cerbydau y rhai *oedd* ganddo
ef, gan ddywedyd, Nac ymleddwch â by-
chan nac â mawr, ond â brenhin Israel yn
unig.
31 A phan welodd tywysogion y cerbyd-
au Jehosaphat, hwy a ddywedasant, Bren-
† *amgylch-asant.* hin Israel *yw* efe. A hwy a † droisant i
ymladd yn ei erbyn ef: ond Jehosaphat a
waeddodd, a'r ARGLWYDD a'i cynnorth-
wyodd ef, a DUW a'u gyrrodd hwynt oddi
wrtho ef.
32 A phan welodd tywysogion y cerbydau
nad brenhin Israel oedd efe, hwy a ddych-
welasant oddi ar ei ol ef.
33 A *rhyw* wr a dynnodd mewn bwa
‡ Heb. *yn ei wirionedd.* ‡ ar ei amcan, ac a darawodd frenhin Is-
rael § rhwng cyssylltiadau'r llurig: am
§ Heb. *rhwng y cyssylltiadau, a rhwng y ddwyfronneg.* hynny efe a ddywedodd wrth ei gerbydwr,
Tro dy law, a dwg fi allan o'r gâd; canys
fe'm clwyfwyd i.
34 A'r rhyfel a gryfhaodd y dwthwn
hwnnw: a brenhin Israel a gynhelid yn *ei*
gerbyd yn erbyn y Syriaid hyd yr hwyr: ac
efe a fu farw ynghylch machludiad haul.

## PEN. XIX.

1 *Jehu yn ceryddu Jehosaphat, ac yntau yn
ymweled â'i deyrnas,* 5 *ac yn rhoi athraw-
iaeth i'w farnwŷr,* 8 *ac i'r offeiriaid a'r
Lefiaid.*

896. A Jehosaphat brenhin Judah a ddychwel-
odd i'w dŷ ei hun i Jerusalem mewn
heddwch.
a 1 Sam. 9. 9. 2 A Jehu mab Hanani [a] y gweledydd a
aeth o'i flaen ef, ac a ddywedodd wrth y
brenhin Jehosaphat, Ai cynnorthwyo'r an-
b Psa. 139. 21. nuwiol, a [b] charu'r rhai oedd yn casâu'r
ARGLWYDD, a wnait ti? am hyn digofaint
oddi wrth yr ARGLWYDD *sydd* arnat ti.
c Pen. 17. 4, 6. 3 Er hynny [c] pethau da a gafwyd ynot
ti; canys ti a dynnaist ymaith y llwyni o'r
Edrych Pen. 12. 12. wlad, ac a barottoaist dy galon i geisio
DUW.
4 A Jehosaphat a drigodd yn Jerusalem:
† Heb. *ddychwelodd, ac a aeth.* ac efe a † aeth drachefn trwy'r bobl o
Beerseba hyd fynydd Ephraim, ac a'u dug
hwynt eilwaith at ARGLWYDD DDUW eu
tadau.
5 ¶ Ac efe a osododd farnwŷr yn y wlad,
trwy holl ddinasoedd caerog Judah, o ddinas
bwy gilydd;
d Deut. 1. 17. 6 Ac efe a ddywedodd wrth y barnwŷr,
Edrychwch beth a wneloch: canys [d] nid
e Psal. 82. 1. dros ddyn yr ydych yn barnu, ond dros
Preg. 5. 8. yr ARGLWYDD; ac [e] *efe a fydd* gyd â chwi
‡ Heb. *yn achos y farn.* ‡ wrth roddi barn.
7 Yn awr gan hynny bydded ofn yr
ARGLWYDD arnoch chwi; gwyliwch
f Deut. 32. 4. a gwnewch *hynny*: o herwydd [f] nid *oes*
Rhuf. 9. 14. anwiredd gyd â'r ARGLWYDD ein Duw,

na [g] derbyn wyneb, na chymmeryd g Deut. 10. 17.
gwobr. Job 34. 19.
8 ¶ A Jehosaphat [h] a osododd hefyd yn Act. 10. 34
Jerusalem *rai* o'r Lefiaid, ac o'r offeiriaid, ac Rhuf. 2. 11
o bennau tadau Israel, i *drin* barnedigae- Gal. 2. 6. Eph. 6. 9.
thau'r ARGLWYDD, ac amrafaelion, pan Col. 3. 25.
ddychwelent i Jerusalem. 1 Petr 1. 17.
9 Ac efe a orchymynodd iddynt, gan h Deut. 16
ddywedyd, Fel hyn y gwnewch mewn ofn 18.
yr ARGLWYDD, mewn ffyddlondeb, ac â
chalon berffaith.
10 [i] A pha amrafael bynnag a ddêl attoch i Deut. 17.
chwi oddi wrth eich brodyr, y rhai sy'n trigo 8.
yn eu dinasoedd, rhwng gwaed a gwaed,
rhwng cyfraith a gorchymyn, deddfau a
barnedigaethau, rhybuddiwch hwynt na
throseddont yn erbyn yr ARGLWYDD, a bod
digofaint arnoch chwi, ac ar eich brodyr:
felly gwnewch, ac na throseddwch.
11 Ac wele, Amariah 'r arch-offeiriad *sydd*
arnoch chwi [k] ym mhob peth *a berthyn* i'r k 1 Chron. 26. 30.
ARGLWYDD; a Zebadiah mab Ismael, blaen-
or tŷ Judah, ym mhob achos i'r brenhin; a'r
Lefiaid yn swyddogion ger eich bron chwi.
Ymwrolwch, a gwnewch *hynny*, a'r AR-
GLWYDD fydd gyd â'r daionus.

## PEN. XX.

1 *Jehosaphat yn ei ofn yn cyhoeddi ympryd,*
5 *ac yn gweddio.* 14 *Prophwydoliaeth Ja-
haziel.* 20 *Jehosaphat yn cynghori'r bobl,
ac yn gosod cantorion i foliannu'r Ar-
glwydd.* 22 *Mawr ddinystr y gelynion.* 26
*Y bobl, wedi bendithio Duw, yn Berachah,
yn dychwelyd mewn gorfoledd.* 31 *Teyr-
nasiad Jehosaphat.* 35 *Ei longau ef ac
Ahaziah yn dryllio.*

AC wedi hyn meibion Moab a meibion 896
Ammon a ddaethant, a chyd â hwynt
*eraill* heb law 'r Ammoniaid, yn erbyn Jeho-
saphat, i ryfel.
2 Yna y deuwyd ac y mynegwyd i Je-
hosaphat, gan ddywedyd, Tyrfa fawr a
ddaeth yn dy erbyn di o'r tu hwnt i'r môr,
o Syria; ac wele *y maent* hwy yn Hasason-
tamar, honno *yw* En-gedi.
3 A Jehosaphat a ofnodd, ac a † ym- † Heb. *roddodd ei wyneb*
roddodd i geisio'r ARGLWYDD; ac a gy-
hoeddodd ympryd trwy holl Judah.
4 A Judah a ymgasglasant i ofyn *cymmorth*
gan yr ARGLWYDD: canys hwy a ddaeth-
ant o holl ddinasoedd Judah i geisio'r AR-
GLWYDD.
5 ¶ A Jehosaphat a safodd ynghynnull-
eidfa Judah a Jerusalem, yn nhŷ'r AR-
GLWYDD, o flaen y cyntedd newydd,
6 Ac a ddywedodd, O ARGLWYDD DDUW
ein tadau, onid *wyt* ti yn DDUW yn y nef-
oedd, ac yn llywodraethu ar holl deyrnas-
oedd y cenhedloedd; ac [a] *onid* yn dy law a 1 Chron. 29. 12.
di *y mae* nerth a chadernid, fel nad oes a Mat. 6. 13.
ddichon dy wrthwynebu di?
7 Onid tydi ein Duw ni a yrraist ym-
aith breswylwŷr y wlad hon o flaen dy bobl
Israel, ac a'i rhoddaist hi i had Abraham
[b] dy garedigol yn dragywydd? b Iago 2. 23.
8 A thrigasant ynddi, ac adeiladasant i ti
ynddi gyssegr i'th enw, gan ddywedyd,
9 [c] *Pan* ddêl niweid arnom ni, *sef* cledd- c 1 Bren. 8. 33, 37.
yf, barnedigaeth, neu haint y nodau, neu Pen. 6. 28.
newyn; os safwn o flaen y tŷ hwn, a cher
dy fron di (canys dy enw di *sydd* yn y tŷ
hwn) a gwaeddi arnat yn ein cyfyngdra, ti
a wrandewi ac a'n gwaredi ni.
10 Ac yn awr wele feibion Ammon a
Moab, a *thrigolion* mynydd Seir, y rhai

ᵈ Deut. 2. d ni chaniatteaist i Israel fyned attynt, pan
4, 9, 19. ddaethant o wlad yr Aipht; ond ᵉ hwy a
ᵉ Num. 20. 21. droisant oddi wrthynt, ac ni ddifethasant
hwynt:
11 Etto wele hwynt-hwy yn talu i ni,
gan ddyfod i'n bwrw ni allan o'th etifedd-
iaeth di, yr hon a wnaethost i ni ei heti-
feddu.
12 Oh ein Duw ni, oni ferni di hwynt?
canys nid *oes* gennym ni nerth *i sefyll* o
flaen y dyrfa fawr hon sydd yn dyfod i'n
herbyn; ac ni wyddom ni beth a wnawn:
ᶠ Psal. 25. 15. a 123. 1, 2. a 141. 8. ond ᶠ arnat ti *y mae* ein llygaid.
13 A holl Judah oedd yn sefyll ger bron
yr ARGLWYDD, â'u rhai bach, eu gwragedd,
a'u plant.
14 ¶ Yna ar Jahaziel mab Zechariah, fab
Benaiah, fab Jeiel, fab Mattaniah, Lefiad
o feibion Asaph, ᵍ y daeth yspryd yr AR-
ᵍ Num. 11. 25, 26. a 24. 2. Pen. 24. 20. GLWYDD ynghanol y gynnulleidfa.
15 Ac efe a ddywedodd, Gwrandewch
holl Judah, a thrigolion Jerusalem, a *thi-
thau* frenhin Jehosaphat, Fel hyn y dywed
ʰ Exod. 14. 13, 14. yr ARGLWYDD wrthych chwi, ʰ Nac ofn-
wch, ac na ddigalonnwch rhag y dyrfa fawr
hon: canys nid eiddoch chwi y rhyfel, eithr
eiddo Duw.
16 Y foru ewch i wared yn eu herbyn
hwynt; wele hwynt yn dyfod i fynu wrth
riw Sis, a chwi a'u goddiweddwch hwynt
† Neu, *y dyffryn.* ynghwrr † yr afon, tu ag anialwch Jeruel.
17 ⁱ Nid *rhaid* i chwi ymladd yn *y rhyfel*
ⁱ Exod. 14. 13, 14. hwn: sefwch yn llonydd, a gwelwch ym-
wared yr ARGLWYDD tu ag attoch, O
Judah, a Jerusalem: nac ofnwch, ac na
ddigalonnwch: ewch y foru allan yn eu
herbyn hwynt, a'r ARGLWYDD *fydd* gyd â
chwi.
18 A Jehosaphat a ymgrymmodd i lawr
ar ei wyneb: holl Judah hefyd a holl
drigolion Jerusalem a syrthiasant ger bron
yr ARGLWYDD, gan addoli 'r AR-
GLWYDD.
19 A'r Lefiaid, o feibion y Cohathiaid,
ac o feibion y Corhiaid, a gyfodasant i
foliannu ARGLWYDD DDUW Israel â llef
uchel ddyrchafedig.
20 ¶ A hwy a gyfodasant yn fore, ac a
aethant i anialwch Tecoa: ac wrth fyned o
honynt, Jehosaphat a safodd, ac a ddy-
wedodd, Gwrandewch fi, O Judah, a thri-
ᵏ Esay 7. 9. golion Jerusalem; ᵏ Credwch yn yr AR-
GLWYDD eich Duw, a chwi a sicrhêir;
coeliwch ei brophwydi ef, a chwi a ffyn-
nwch.
21 Ac efe a ymgynghorodd â'r bobl, ac
a osododd gantorion i'r ARGLWYDD, a
rhai i foliannu prydferthwch sancteidd-
rwydd, pan aent allan o flaen y rhyfel-
ˡ Psal. 136. 1. wŷr; ac i ddywedyd, ˡ Clodforwch yr AR-
GLWYDD, ᵐ o herwydd ei drugaredd *a bery*
ᵐ 1 Chron. 16. 41. yn dragywydd.
22 ¶ Ac yn yr amser y dechreuasant hwy
ⁿ Barn. 7. 22. 1 Sam. 14. 20. y gân a'r moliant, ⁿ y rhoddodd yr AR-
GLWYDD gynllwynwŷr yn erbyn meibion
Ammon, Moab, a *thrigolion* mynydd Seir,
y rhai oedd yn dyfod yn erbyn Judah; a
‡ Neu, *darawsant.* hwy a ‡ laddasant bawb eu gilydd.
23 Canys meibion Ammon a Moab a
gyfodasant yn erbyn trigolion mynydd Seir,
i'w difrodi, ac i'w difetha *hwynt*: a phan
orphenasent hwy drigolion Seir, hwy a
helpiasant ddifetha pawb eu gilydd.
§ *tŵr y gwylwŷr.* 24 A phan ddaeth Judah hyd § Mispah yn
yr anialwch, hwy a edrychasant ar y dyr-
fa, ac wele hwynt yn gelaneddau meirwon
yn gorwedd ar y ddaear, ac ‖ heb *un* ‖ Heb. *nid oedd ddiangfa.*
diangol.
25 A phan ddaeth Jehosaphat a'i bobl i
ysglyfaethu eu hyspail hwynt, hwy a gaw-
sant yn eu mysg hwy lawer o olud, gyd â'r
cyrph meirw, a thlysau dymunol (yr hyn
a ysglyfaethasant iddynt) beth anfeidrol: a
thridiau y buant yn ysglyfaethu 'r yspail;
canys mawr *oedd*.
26 ¶ Ac ar y pedwerydd dydd yr ym-
gynnullasant i ddyffryn † y fendith; canys † *Berachah.*
yno y bendithiasant yr ARGLWYDD: am
hynny y gelwir enw y fan honno Dyffryn
‡ y fendith hyd heddyw. ‡ *Berachah.*
27 Yna y dychwelodd holl wŷr Judah a
Jerusalem, a Jehosaphat yn flaenor iddynt,
i fyned yn eu hol i Jerusalem mewn llawen-
ydd; canys yr ARGLWYDD a roddasai
lawenydd iddynt hwy ar eu gelynion.
28 A hwy a ddaethant i Jerusalem â
nablau, a thelynau, ac udgyrn, i dŷ 'r AR-
GLWYDD.
29 Ac ᵒ ofn Duw oedd ar holl deyrnas- ᵒ Pen. 17. 10.
oedd y ddaear, pan glywsant hwy fel y
rhyfelasai 'r ARGLWYDD yn erbyn gelynion
Israel.
30 Felly teyrnas Jehosaphat a gafodd
lonydd: canys ei DDUW a roddodd iddo
lonyddwch o amgylch.
31 ¶ ᵖ A Jehosaphat a deyrnasodd ar ᵖ 1 Bren. 22. 41, &c.
Judah: mab pymtheng mlwydd ar hugain
*oedd efe* pan ddechreuodd deyrnasu, a phum
mlynedd ar hugain y teyrnasodd efe yn Je-
rusalem: ac enw ei fam ef *oedd* Azubah
merch Silhi.
32 Ac efe a rodiodd yn ffordd Asa ei dad,
ac ni chiliodd oddi wrthi, gan wneuthur yr
hyn *oedd* union yngolwg yr ARGLWYDD.
33 Er hynny ᑫ ni thynnwyd yr uchel- ᑫ Edrych Pen. 17. 6.
feydd ymaith: canys ni pharottoisai 'r bobl
eu calon etto at DDUW eu tadau.
34 A'r rhan arall o'r gweithredoedd cyn-
taf a diweddaf i Jehosaphat, wele hwy yn
ysgrifenedig ym mysg geiriau Jehu mab
Hanani, ʳ yr hwn § y crybwyllir am dano ʳ 1 Bren. 16. 1, 7.
yn llyfr brenhinoedd Israel. § Heb. *a ddyrchafwyd.*
35 ¶ Ac wedi hyn ˢ Jehosaphat brenhin
Judah a ymgyfeillodd ag Ahaziah brenhin
Israel, yr hwn a ymroddasai i ddrygioni. ˢ 1 Bren. 22. 48, 49.
36 Ac efe a unodd ag ef ar wneuthur
llongau i fyned i Tarsis: a gwnaethant y
llongau yn Esion-gaber.
37 Yna Eliezer mab Dodafah o Maresah
a brophwydodd yn erbyn Jehosaphat, gan
ddywedyd, O herwydd i ti ymgyfeillachu
ag Ahaziah, yr ARGLWYDD a ddrylliodd
dy waith di. A'r llongau a ddrylliwyd, fel
na allasant fyned i Tarsis.

## PEN. XXI.

*1 Jehoram yn teyrnasu ar ol Jehosaphat, ac yn lladd ei frodyr. 5 Ei annuwioldeb ef. 8 Edom a Libnah yn troi oddi wrtho ef. 12 Prophwydoliaeth Elias yn ei erbyn ef. 16 Y Philistiaid a'r Arabiaid yn ei orthrymmu ef. 18 Ei anaele glefyd ef, a'i waradwyddus farwolaeth, a'i gladdedigaeth.*

A ᵃ Jehosaphat a hunodd gyd â'i dadau, 887.
ac a gladdwyd gyd â'i dadau yn ninas ᵃ 1 Bren. 22. 50.
Dafydd. A Jehoram ei fab a deyrnasodd yn
ei le ef.
2 Ac iddo ef *yr oedd* brodyr, meibion
Jehosaphat; Azariah, a Jehiel, a Zecha-
riah, ac Azariah, a Michael, a Sephatiah: y
rhai hyn oll *oedd* feibion Jehosaphat bren-
hin Israel.

Cylch 3 A'u tad a roddodd iddynt roddion
892. lawer, o arian, ac aur, a gwerthfawr beth-
au, gyd â dinasoedd caerog yn Judah:
ond efe a roddodd y frenhiniaeth i Jeho-
ram, canys efe *oedd* y cyntaf-anedig.
[b] 2 Bren. 8. 4 A [b] Jehoram a gyfododd ar frenhin-
16, 17. iaeth ei dad, ac a ymgadarnhaodd, ac a
laddodd ei holl frodyr â'r cleddyf, a *rhai*
hefyd o dywysogion Israel.
5 ¶ Mab deuddeng mlwydd ar hugain
*oedd* Jehoram pan ddechreuodd efe deyrn-
asu, ac wyth mlynedd y teyrnasodd efe yn
Jerusalem.
6 Ac efe a rodiodd yn ffordd brenhin-
oedd Israel, fel y gwnelsai tŷ Ahab; canys
[c] Pen. 22. [c] merch Ahab oedd wraig iddo: ac efe a
2. wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg yngolwg yr
ARGLWYDD.
7 Ond ni fynnai'r ARGLWYDD ddife-
[d] 2 Sam. 7. tha tŷ Ddafydd, er mwyn [d] y cyfammod
12. a ammodasai efe â Dafydd, fel y dywed-
1 Bren. 11. 36. asai, y rhoddai efe iddo † oleuni ac i'w
2 Bren. 8. feibion byth.
19. Psal. 132. 8 ¶ Yn ei ddyddiau ef y gwrthryfelodd
11, &c. Edom oddi tan law Judah, ac y gosodasant
† Heb. frenhin arnynt eu hun.
*lamp*, neu, 9 A Jehoram [e] a aeth allan, a'i dywys-
*ganwyll.* ogion, a'i holl gerbydau gyd ag ef: ac efe
[e] 2 Bren. 8. a gyfododd liw nos, ac a darawodd yr
21. Edomiaid, y rhai oedd yn ei amgylchu ef,
a thywysogion y cerbydau.
10 Felly Edom a wrthryfelodd oddi tan
law Judah hyd y dydd hwn: a gwrthryfel-
odd Libnah y pryd hynny oddi tan ei law
ef; o herwydd iddo ymwrthod ag AR-
GLWYDD DDUW ei dadau.
11 Efe a wnaeth hefyd uchelfeydd ym
mynyddoedd Judah, ac a wnaeth i drigolion
Jerusalem butteinio, ac a gymhellodd Ju-
dah *i hynny*.
12 ¶ A daeth ysgrifen oddi wrth Elïas
y prophwyd atto ef, gan ddywedyd, Fel
hyn y dywed ARGLWYDD DDUW Dafydd
dy dad, O herwydd na rodiaist ti yn ffyrdd
Jehosaphat dy dad, nac yn ffyrdd Asa bren-
hin Judah;
13 Eithr rhodio o honot yn ffordd bren-
hinoedd Israel, a gwneuthur o honot i
Judah ac i drigolion Jerusalem butteinio,
fel y putteiniodd tŷ Ahab, a lladd o honot
dy frodyr hefyd *o* dŷ dy dad, y rhai *oedd*
well nâ thydi:
‡ Heb. 14 Wele, yr ARGLWYDD a dery â ‡ phla
*dyrnod.* mawr dy bobl di, a'th blant, a'th wragedd,
a'th holl olud.
15 A thi *a gei* glefyd mawr, clefyd o'th
ymysgaroedd, nes myned o'th goluddion
allan gan y clefyd, o ddydd i ddydd.
16 ¶ Felly 'r ARGLWYDD a gyffrôdd yn
erbyn Jehoram yspryd y Philistiaid, a'r
Arabiaid, y rhai *oedd* ger llaw 'r Ethiopiaid.
17 A hwy a ddaethant i fynu i Judah, ac
a'i drylliasant hi. ac a gaeth-gludasant yr
holl gyfoeth a gafwyd yn nhŷ 'r brenhin,
[f] Pen. 24. a'i [f] feibion hefyd a'i wragedd; fel na
7. adawyd mab iddo, ond § Jehoahaz yr
§ Neu, *Ahazïah*, ieuangaf o'i feibion.
Pen. 22. 1. 18 ¶ Ac wedi hyn oll yr ARGLWYDD a'i
neu, *Azarïah*, tarawodd ef yn ei ymysgaroedd â chlefyd
Pen. 22. 6. anaele.
887. 19 A bu, ar ol talm o ddyddiau, ac
wedi darfod yspaid dwy flynedd, ei ym-
ysgaroedd ef a aeth allan gan ei glefyd:
felly y bu efe farw o glefydau drwg. A'i
885. bobl ni wnaethant iddo gynneu, megis
[g] Pen. 16. [g] cynneu ei dadau.
14.

20 Mab deuddeng mlwydd ar hugain
oedd efe pan ddechreuodd efe deyrnasu,
ac wyth mlynedd y teyrnasodd efe yn Je-
rusalem; ac efe a ymadawodd heb hiraeth
*am dano*: a chladdasant ef yn ninas Da-
fydd, ond nid ym meddrod y brenhinoedd.

## PEN. XXII.

*1 Ahazïah yn dyfod ar ol Jehoram, ac yn teyrnasu yn annuwiol. 5 Ei gyngrair ef â Joram mab Ahab, a Jehu yn ei ladd ef. 10 Athalïah yn difetha'r holl had brenhinol ond Joas, yr hwn a guddiasai Josabea ei fodryb, ac yn cymmeryd arni y frenhiniaeth.*

A Thrigolion Jerusalem a urddasant [a] A- 885.
haziah ei fab ieuangaf ef yn frenhin [a] 2 Bren. 8.
yn ei le ef: canys y fyddin a ddelsai gyd 24, &c.
â'r Arabiaid i'r gwersyll, a laddasai y rhai Edrych adn. 6.
[b] hynaf oll. Felly Ahazïah mab Jehoram [b] Pen. 21.
brenhin Judah a deyrnasodd. 17.
2 [c] Mab dwy flwydd a deugain *oedd* A- [c] Edrych
hazïah pan ddechreuodd efe deyrnasu; ac 2 Bren. 8.
un flwyddyn y teyrnasodd efe yn Jerusa- 26.
lem: ac enw ei fam ef *oedd* [d] Athalïah [d] Pen. 21.
merch Omri. 6.
3 Yntau hefyd a rodiodd yn ffyrdd tŷ
Ahab: canys ei fam oedd ei gyngor ef i
wneuthur drwg.
4 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD, fel tŷ Ahab: canys
hwynt-hwy oedd gynghoriaid iddo ef, ar ol
marwolaeth ei dad, i'w ddinystr ef.
5 ¶ Ac efe a rodiodd yn ol eu cyngor 884.
hwynt, ac a aeth gyd â Jehoram mab Ahab
brenhin Israel i ryfel, yn erbyn Hazael
brenhin Syria, yn Ramoth Gilead: a'r Sy-
riaid a darawsant Joram.
6 Ac efe a ddychwelodd i ymiachâu i
Jezreel, o herwydd yr archollion â'r rhai
y tarawsant ef yn Ramah, pan ymladdodd
efe â Hazael brenhin Syria. Ac † Azarïah † *Ahazïah*,
mab Jehoram brenhin Judah a aeth i wared adn. 1.
i ymweled â Jehoram mab Ahab i Jezreel, *Jehoahaz*, Pen. 21. 17.
canys claf *oedd* efe.
7 A ‡ dinystr Ahazïah [e] oedd oddi wrth ‡ Heb.
DDUW, wrth ddyfod at Joram: canys pan *mathrad.*
ddaeth, efe a aeth gyd â Jehoram yn erbyn [e] Barn. 14. 4.
Jehu mab Nimsi, yr hwn [f] a enneiniasai 'r [f] 2 Bren. 9.
ARGLWYDD i dorri ymaith dŷ Ahab. 7.
8 A phan farnodd Jehu yn erbyn tŷ Ahab,
efe [g] a gafodd dywysogion Judah, a meibion [g] 2 Bren.
brodyr Ahazïah, y rhai oedd yn gwasanae- 10. 13.
thu Ahazïah, ac efe a'u lladdodd hwynt.
9 [h] Ac efe a geisiodd Ahazïah; a hwy a'i [h] 2 Bren. 9.
daliasant ef (canys yr oedd efe yn llechu 27.
yn Samaria) a hwy a'i dygasant ef at Jehu:
lladdasant ef hefyd, a chladdasant ef; ca- 884.
nys dywedasant, Mab Jehosaphat *yw* efe,
yr hwn a geisiodd yr ARGLWYDD â'i holl
galon. Felly nid oedd gan dŷ Ahazïah nerth
i lynu yn y deyrnas.
10 ¶ [i] Ond pan welodd Athalïah mam [i] 2 Bren.
Ahazïah farw o'i mab, hi a gyfododd, 11. 1.
ac a ddifethodd holl frenhinol had tŷ
Judah.
11 Ond Josabea merch y brenhin a gym-
merth Joas fab Ahazïah, ac a'i lladrat-
taodd ef o fysg meibion y brenhin y rhai
a laddwyd, ac a'i rhoddodd ef a'i fammaeth
yn ystafell y gwelyau. Felly Josabea merch
y brenhin Jehoram, gwraig Jehoiada yr
offeiriad (canys chwaer Ahazïah ydoedd
hi) a'i cuddiodd ef rhag Athalïah, fel na
laddodd hi ef.
12 Ac efe a fu ynghûdd gyd â hwynt yn

nhŷ Duw chwe blynedd: ac Athalïah oedd
yn teyrnasu ar y wlad.

## PEN. XXIII.

1 *Jehoiada, wedi gosod pethau mewn trefn,*
*yn gwneuthur Joas yn frenhin.* 12 *Lladd*
*Athalïah.* 16 *Jehoiada yn edfryd gwasa-*
*naeth Duw.*

878. AC [a] yn y seithfed flwyddyn yr ym-
[a] 2 Bren. gadarnhaodd Jehoiada, ac y cymmer-
11. 4, &c. odd dywysogion y cannoedd, Azarïah mab
Jeroham, ac Ismael mab Johanan, ac Aza-
rïah mab Obed, a Maaseiah mab Adaiah,
ac Elisaphat mab Zichri, gyd ag ef mewn
cyfammod.
2 A hwy a aethant o amgylch yn Judah, ac
a gynnullasant y Lefiaid o holl ddinasoedd
Judah, a phennau cenedl Israel, ac a ddaeth-
ant i Jerusalem.
3 A'r holl gynnulleidfa a wnaethant gyf-
ammod â'r brenhin yn nhŷ Duw: ac efe a
ddywedodd wrthynt hwy, Wele, mab y
[b] 2 Sam. 7. brenhin a deyrnasa, fel [b] y llefarodd yr
12. 1 Bren. 2. Arglwydd am feibion Dafydd.
4. a 9. 5. 4 Dyma 'r peth a wnewch chwi; Y dry-
Pen. 6. 16. dedd ran o honoch, y rhai a ddeuant i mewn
a 7. 18. a *âr* y Sabboth o'r offeiriaid ac o'r Lefiaid,
21. 7. *fydd* yn borthorion i'r trothwyau;
5 A'r drydedd ran *fydd* yn nhŷ 'r brenhin;
a'r drydedd ran wrth borth y sylfaen; a'r
holl bobl ynghynteddau tŷ 'r Arglwydd.
6 Ac na ddeled *neb* i dŷ 'r Arglwydd,
[c] 1 Chron. ond yr offeiriaid, [c] a'r gweinidogion o'r
23. 28, 29. Lefiaid; deuant hwy i mewn, canys sanct-
aidd *ydynt:* ond yr holl bobl a gadwant
wyliadwriaeth yr Arglwydd.
7 A'r Lefiaid a amgylchant y brenhin o
bob tu, pob un â'i arfau yn ei law; a phwy
bynnag *arall* a ddelo i'r tŷ, lladder ef: ond
byddwch chwi gyd â'r brenhin, pan ddelo
efe i mewn, a phan elo efe allan.
8 A'r Lefiaid a holl Judah a wnaethant yn
ol yr hyn oll a orchymynasai Jehoiada yr
offeiriad, a hwy a gymmerasant bawb eu
gwŷr, y rhai oedd yn dyfod i mewn *ar* y
Sabboth, gyd â'r rhai oedd yn myned allan
*ar* y Sabboth: (canys ni ryddhasai Jehoi-
[d] Edrych ada 'r offeiriad [d] y dosparthiadau.)
1 Chron. 9 A Jehoiada 'r offeiriad a roddodd i
24, a 25. dywysogion y cannoedd, y gwaywffyn, a'r
tariannau, a'r estylch, *a fuasai* yn eiddo y
brenhin Dafydd, y rhai *oedd* yn nhŷ
Duw.
10 Ac efe a gyfleodd yr holl bobl, a
† Heb. phob un â'i arf yn ei law, o'r † tu dehau
*ysgwydd* i'r tŷ hyd y tu aswy i'r tŷ, ynghylch yr
*ddehau.* allor a'r tŷ, yn ymyl y brenhin oddi am-
gylch.
11 Yna y dygasant allan fab y brenhin, a
[e] Deut. 17. rhoddasant y goron arno ef, [e] a'r dyst-
18. iolaeth, ac a'i hurddasant ef yn frenhin:
Jehoiada hefyd a'i feibion a'i heneini-
asant ef, ac a ddywedasant, Byw fyddo 'r
brenhin.
12 ¶ A phan glybu Athalïah drwst y
bobl yn rhedeg, ac yn moliannu 'r bren-
hin, hi a ddaeth at y bobl i dŷ 'r Ar-
glwydd.
13 A hi a edrychodd, ac wele 'r brenhin
yn sefyll wrth ei golofn yn y ddyfodfa, a'r
tywysogion, a'r udgyrn yn ymyl y brenhin;
a holl bobl y wlad yn llawen, ac yn lleisio
mewn udgyrn; a'r cantorion ag offer cerdd,
[f] 1 Chron. [f] a'r rhai a fedrent foliannu. Yna Athalïah
25. 8. a rwygodd ei dillad, ac a ddywedodd, Brad-
wriaeth, bradwriaeth.

14 A Jehoiada yr offeiriad a ddug allan
dywysogion y cannoedd, *sef* swyddogion y
llu, ac a ddywedodd wrthynt, Dygwch hi
allan o'r rhesau: a'r hwn a ddelo ar ei hol
hi, lladder ef â'r cleddyf. Canys dywed-
asai 'r offeiriad, Na leddwch hi yn nhŷ 'r
Arglwydd.
15 A hwy a roddasant ddwylaw arni hi, a
hi a ddaeth tu a'r porth y deuai 'r meirch
i dŷ 'r brenhin, ac yno y lladdasant hwy hi.
16 ¶ A Jehoiada a wnaeth gyfammod
rhyngddo ei hun, a rhwng yr holl bobl, a
rhwng y brenhin, i fod yn bobl i'r Ar-
glwydd.
17 Yna 'r holl bobl a aethant i dŷ Baal,
ac a'i distrywiasant ef, a'i allorau, ei ddel-
wau hefyd a ddrylliasant hwy, ac [g] a ladd- [g] Deut. 13.
asant Mattan offeiriad Baal o flaen yr allor. 9.
18 A Jehoiada a osododd swyddau *yn*
nhŷ 'r Arglwydd, dan law 'r offeiriaid
y Lefiaid, y rhai [h] a ddosparthasai Da- [h] 1 Chron.
fydd yn nhŷ 'r Arglwydd, i offrym- 24. 1.
mu poeth-offrymmau 'r Arglwydd, fel
*y mae* yn ysgrifenedig [i] ynghyfraith Moses, [i] Num. 28.
mewn llawenydd a chân, ‡ yn ol trefn 2.
Dafydd. ‡ Heb.
19 Ac efe a gyfleodd [k] y porthorion wrth *trwy*
byrth tŷ 'r Arglwydd, fel na ddelai i *ddwylaw.* [k] 1 Chron.
mewn neb *a fyddai* aflan mewn dim oll. 26. 1, &c.
20 Cymmerodd hefyd dywysogion y can-
noedd, a'r pendefigion, a'r rhai oedd yn ar-
glwyddiaethu ar y bobl, a holl bobl y wlad,
ac efe a ddug y brenhin i wared o dŷ 'r
Arglwydd: a hwy a ddaethant trwy 'r
porth uchaf i dŷ 'r brenhin, ac a gyfleasant
y brenhin ar orseddfa 'r frenhiniaeth.
21 A holl bobl y wlad a lawenychasant,
a'r ddinas a fu lonydd wedi iddynt ladd
Athalïah â'r cleddyf.

## PEN. XXIV.

1 *Joas yn teyrnasu yn ddaionus tra fu fyw*
*Jehoiada,* 4 *yn peri cyweirio 'r deml.* 15
*Marwolaeth Jehoiada, a'i barchedig an-*
*gladd.* 17 *Joas yn troi at ddelw-addoliaeth,*
*ac yn lladd Zecharïah mab Jehoiada.* 23 *Y*
*Syriaid yn ei anrheithio ef, a Zabad a*
*Jozabad yn ei ladd ef.* 27 *Amasïah yn*
*teyrnasu ar ei ol ef.*

MAB [a] saith mlwydd *oedd* Joas pan 878.
ddechreuodd efe deyrnasu, a deu- [a] 2 Bren.
gain mlynedd y teyrnasodd efe yn Jerusa- 12. 1, &c.
lem: ac enw ei fam ef *oedd* Sibeah o Beer-
seba.
2 A Joas [b] a wnaeth yr hyn *oedd* union [b] Edrych
yngolwg yr Arglwydd holl ddyddiau Je- Pen. 26. 5.
hoiada 'r offeiriad.
3 A Jehoiada a gymmerth iddo ddwy
wragedd: ac efe a genhedlodd feibion a
merched.
4 ¶ Ac wedi hyn Joas a roes ei fryd ar 856.
adnewyddu tŷ 'r Arglwydd.
5 Ac efe a gynhullodd yr offeiriaid a'r
Lefiaid, ac a ddywedodd wrthynt, Ewch i
ddinasoedd Judah, a chesglwch gan holl Is-
rael arian i gyweirio tŷ eich Duw, o flwydd-
yn i flwyddyn: prysurwch chwithau 'r peth.
Ond ni frysiodd y Lefiaid.
6 A'r brenhin a alwodd am Jehoiada, yr
*offeiriad* pennaf, ac a ddywedodd wrtho,
Paham na cheisiaist gan y Lefiaid ddwyn
o Judah, ac o Jerusalem, dreth [c] Moses [c] Exod. 30.
gwas yr Arglwydd, a chynnulleidfa Is- 12, 13, 14.
rael, i babell y dystiolaeth?
7 Canys [d] meibion Athalïah y wraig [d] Pen. 21.
ddrygionus honno a rwygasent dŷ Duw; 17.

a holl gyssegredig bethau tŷ 'r ARGLWYDD
a roisant hwy i Baalim.
8 Ac wrth orchymyn y brenhin hwy
a wnaethant gist, ac a'i gosodasant hi ym
mhorth tŷ 'r ARGLWYDD oddi allan.
† Heb. *llef.* 9 A rhoddasant † gyhoeddiad yn Judah,
ac yn Jerusalem, ar ddwyn i 'r ARGLWYDD
dreth Moses gwas DUW, *yr hon a roisid* ar
Israel yn yr anialwch.
10 A'r holl dywysogion, a'r holl bobl a
lawenychasant, ac a ddygasant, ac a fwriasant i'r gist, nes gorphen o honynt.
11 A bu, yr amser y dygpwyd y gist at
swyddog y brenhin trwy law y Lefiaid, a
phan welsant *fod* llawer o arian, ddyfod o
'sgrifenydd y brenhin, a swyddog yr archoffeiriad, a thywallt y gist, a'i chymmeryd
hi, a'i dwyn drachefn i'w lle ei hun. Felly
y gwnaethant o ddydd i ddydd, a chasglasant arian lawer.
12 A'r brenhin a Jehoiada a'i rhoddodd
i'r rhai oedd yn gweithio gwasanaeth tŷ 'r
ARGLWYDD; a chyflogasant seiri maen, a
seiri pren, i gyweirio tŷ 'r ARGLWYDD;
a gofaint haiarn a phres, i gadarnhâu tŷ 'r
ARGLWYDD.
‡ Heb. *a meddyginiaeth aeth i fynu ar y gwaith.* 13 Felly y gweithwŷr a weithiasant, ‡ a'r
gwaith a orphenwyd trwy eu dwylaw
hwynt: a hwy a wnaethant dŷ DUW yn
ei drefn ei hun, ac a'i cadarnhasant ef.
14 A phan orphenasant hwy *ef*, hwy a
ddygasant y gweddill o'r arian ger bron y
brenhin a Jehoiada; a hwy a wnaethant o
honynt lestri i dŷ 'r ARGLWYDD, *sef* llestri 'r
§ Heb. *i offrymmu.* weinidogaeth, § a'r morterau, a'r llwyau, a'r
llestri aur ac arian. Ac yr oeddynt hwy yn
offrymmu poeth-offrymmau yn nhŷ yr ARGLWYDD yn wastadol, holl ddyddiau Jehoiada.
Cylch 850. 15 ¶ Ond Jehoiada a heneiddiodd, ac
oedd gyflawn o ddyddiau, ac a fu farw:
mab can mlwydd a deg ar hugain *oedd efe*
pan fu farw.
16 A hwy a'i claddasant ef yn ninas Dafydd gyd â'r brenhinoedd; canys efe a wnelsai ddaioni yn Israel, tu ag at DUW a'i dŷ.
Cylch 840. 17 Ac wedi marw Jehoiada, tywysogion
Judah a ddaethant, ac a ymgrymmasant i'r
brenhin: yna y brenhin a wrandawodd
arnynt hwy.
18 A hwy a adawsant dŷ ARGLWYDD
DDUW eu tadau, ac a wasanaethasant y llwyni, a'r delwau: a daeth digofaint ar Judah a
Jerusalem, o herwydd eu camwedd hyn.
19 Etto efe a anfonodd attynt hwy brophwydi, i'w troi hwynt at yr ARGLWYDD;
a hwy a dystiolaethasant yn eu herbyn
hwynt, ond ni wrandawsant hwy.
|| Heb. *a wisgodd am*, fel Barn. 6. 34. 20 Ac yspryd DUW a || ddaeth ar Zechariah fab Jehoiada yr offeiriad, ac efe
a safodd oddi ar y bobl, ac a ddywedodd
wrthynt hwy, Fel hyn y dywedodd DUW,
Pa ham yr ydych chwi yn troseddu gorchymynion yr ARGLWYDD? diau na ffynnwch chwi; canys e gwrthodasoch yr ARGLWYDD, am hynny yntau a'ch gwrthyd
chwithau.
e Pen. 15. 2.
21 A hwy a gyd-fwriadasant yn ei erbyn
ef, ac f a'i llabyddiasant ef â meini wrth
orchymyn y brenhin, ynghynteddd tŷ 'r ARGLWYDD.
f Mat. 23. 35.
840. 22 Ac ni chofiodd Joas y brenhin y caredigrwydd a wnaethai Jehoiada ei dad ef ag
ef, ond efe a laddodd ei fab ef: a phan
oedd efe yn marw, efe a ddywedodd,
Edrycher yr ARGLWYDD, a gofyned.

23 ¶ Ac † ym mhen y flwyddyn y daeth 839.
llu 'r Syriaid i fynu yn ei erbyn ef: a hwy † Heb. *yn nychweliad.*
a ddaethant yn erbyn Judah a Jerusalem,
ac a ddifethasant holl dywysogion y bobl o
blith y bobl, ac a anfonasant eu holl anrhaith
hwynt i frenhin Damascus.
24 Canys llu 'r Syriaid g a ddaethai ag g Lef. 26. 8.
ychydig wŷr, a'r ARGLWYDD a roddodd
yn eu llaw hwynt lu mawr iawn, am Deut. 32. 30.
iddynt wrthod ARGLWYDD DDUW eu tadau: felly y gwnaethant hwy farn yn erbyn Esay 30. 17.
Joas.
25 A phan aethant hwy oddi wrtho ef,
(canys hwy a'i gadawsant ef mewn clefydau
mawrion) ei weision ei hun a gyd-fwriadodd i'w erbyn ef, o herwydd gwaed meibion Jehoiada yr offeiriad, ac a'i lladdasant
ef ar ei wely; ac efe a fu farw: a hwy a'i
claddasant ef yn ninas Dafydd, ond ni chladdasant ef ym meddau 'r brenhinoedd.
26 A dyma 'r rhai a frad-fwriadasant
yn ei erbyn ef; ‡ Zabad mab Simeath yr ‡ Neu, *Jozachar*, 2 Bren. 12. 21.
Ammonees, a Jehozabad mab § Simrith y
Moabees.
27 ¶ Am ei feibion ef, a maint h y baich § Neu, *Shomer* 2 Bren. 12. 21.
a roddwyd arno, a sylfaeniad tŷ DUW,
wele hwy yn ysgrifenedig yn histori llyfr
y brenhinoedd. Ac Amasïah ei fab a deyrnasodd yn ei le ef. h 2 Bren. 12. 18.

839.

## PEN. XXV.

1 *Amasïah yn dechreu teyrnasu yn ddaionus:*
*3 yn gwneuthur cyfiawnder â'i bradwŷr:*
*5 yn cyflogi llu o'r Israeliaid yn erbyn yr*
*Edomiaid, ac ar air y prophwyd yn colli 'r*
*can talent cyflog, ac yn eu gollwng hwynt*
*ymaith: 11 yn gorchfygu 'r Edomiaid. 10,*
*13 Yr Israeliaid yn ddigllon am eu gollwng*
*ymaith, yn yspeilio wrth fyned adref. 14*
*Amasïah yn balchïo am ei oruchafiaeth, ac*
*yn gwasanaethu duwiau Edom, ac yn diystyru rhybudd y prophwyd, 17 yn cyffroi Joas*
*i'w ddinystr ei hun. 25 Yr hŷd y teyrnasodd efe. 27 Ei ladd ef trwy frad.*

MAB a pum mlwydd ar hugain *oedd* 839.
Amasïah pan ddechreuodd efe deyrn- a 2 Bren. 14. 1, &c.
asu, a naw mlynedd ar hugain y teyrnasodd
efe yn Jerusalem: ac enw ei fam ef *oedd*
Jehoadan o Jerusalem.
2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* union yngolwg yr ARGLWYDD, b ond nid â chalon b Edrych 2 Bren. 14. 4.
berffaith.
3 ¶ A phan sicrhawyd ei deyrnas † iddo Adn. 4.
ef, efe a laddodd ei weision a laddasent y † Heb. *arno.*
brenhin ei dad ef.
4 Ond ni laddodd efe eu meibion hwynt,
ond *efe a wnaeth* fel *y mae* yn ysgrifenedig
yn y gyfraith yn llyfr Moses, lle y gorchymynasai 'r ARGLWYDD, gan ddywedyd, c Ni c Deut. 24. 16.
bydd marw y tadau dros y meibion, ac 2 Bren. 14. 6.
ni bydd marw y meibion dros y tadau,
ond pob un a fydd marw am ei bechod ei Jer. 31. 30.
hun. Ezec. 18. 20.
5 ¶ Ac Amasïah a gynhullodd Judah, ac
a'u gwnaeth hwy, yn ol tŷ *eu* tadau, yn
dywysogion ar filoedd, ac yn dywysogion
ar gannoedd, trwy holl Judah a Benjamin:
ac efe a'u cyfrifodd hwynt d o fab ugain d Num. 1. 3.
mlwydd ac uchod, ac a'u cafodd hwy yn
dri chan mil o *wŷr* etholedig yn *gallu*
myned i ryfel, yn medru trin gwaywffon a
tharian.
6 Ac efe a gyflogodd o Israel gan mil o
*wŷr* cedyrn nerthol, er can talent o arian.
7 Ond gwr DUW a ddaeth atto ef, gan
ddywedyd, O frenhin, nac aed llu Israel

gyd â thi: canys nid *yw'r* ARGLWYDD gyd
ag Israel, *sef gyd â* holl feibion Ephraim.
8 Ond os myned a fynni, gwna, ym-
gadarnhâ i ryfel: *ond* Duw a wna it'
syrthio o flaen dy elynion; canys y mae
gan DDUW nerth i gynnorthwyo, ac i
gwympo.
9 Ac Amasïah a ddywedodd wrth wr
Duw, Ond beth a wneir am y can talent
a roddais i dorf Israel? A dywedodd gwr
Duw, Y mae ar law'r ARGLWYDD roddi
i ti lawer mwy nâ hynny.
10 Felly Amasïah a'u neillduodd hwynt,
*sef* y dorf a ddelsai atto ef o Ephraim, i
fyned i'w mangre eu hun. A llidiodd eu
digllonedd hwy yn ddirfawr yn erbyn Ju-
dah, a dychwelasant i'w mangre eu hun
mewn llid ddigllon.
Cylch 11 ¶ Ac Amasïah a ymgadarnhaodd, ac a
827. dywysodd allan ei bobl, ac a aeth i ddyffryn
yr halen, ac a darawodd *o* feibion Seir ddeng
mil.
12 Meibion Judah hefyd a gaeth-gluda-
sant ddeng mil yn fyw, ac a'u dygasant i
ben y graig, ac a'u taflasant hwy o ben y
graig, fel y drylliwyd hwynt oll.
† Heb. *A meibion y fyddin.* 13 ¶ † A'r rhyfelwŷr, y rhai a ddarfuasai
i Amasïah eu troi yn ol rhag myned gyd ag
ef i ryfel, a ruthrasant ar ddinasoedd Judah,
o Samaria hyd Beth-horon, ac a darawsant
o honynt dair mil, ac a ysglyfaethasant
anrhaith fawr.
14 ¶ Ac wedi dyfod Amasïah o ladd yr
e Edrych Edomiaid, e efe a ddug dduwiau meibion
Pen. 28. 23. Seir, ac a'u gosododd hwynt iddo ef yn
dduwiau, ac a addolodd ger eu bron hwynt,
ac a arogl-darthodd iddynt.
15 Am hynny y llidiodd digllonedd yr
ARGLWYDD yn erbyn Amasïah; ac efe a
anfonodd brophwyd atto ef, yr hwn a ddy-
wedodd wrtho ef, Pa ham y ceisiaist ti
dduwiau'r bobl, y rhai nid achubasant eu
pobl eu hun o'th law di?
16 A phan oedd efe yn llefaru wrtho
ef, *y brenhin* a ddywedodd wrtho yntau, A
wnaed tydi yn gynghorwr i'r brenhin?
paid, i ba beth y'th darewid? A'r pro-
phwyd a beidiodd, ac a ddywedodd, Mi a
‡ Heb. *cynghori.* wn fod Duw wedi ‡ arfaethu dy ddinystrio
di, am it' wneuthur hyn, ac na wrandew-
aist ar fy nghyngor i.
826. 17 ¶ Yna f Amasïah brenhin Judah a ym-
f 2 Bren. 14. 8. gynghorodd, ac a anfonodd at Joas fab Je-
hoahaz fab Jehu brenhin Israel, gan ddy-
wedyd, Tyred, gwelwn wyneb ein gilydd.
18 A Joas brenhin Israel a anfonodd at
Amasïah brenhin Judah, gan ddywedyd,
§ Neu, *eithinen,* neu, *Y ddraenen.* Yr § ysgellyn *sydd* yn Libanus a anfonodd
at y gedrwŷdden *sydd* yn Libanus, gan
ddywedyd, Dyro dy ferch i'm mab i yn
wraig: a bwystfil y maes, yr hwn *oedd*
yn Libanus, a dramwyodd, ac a sathrodd
yr ysgellyn.
19 Dywedaist, Wele tarewaist yr Edom-
iaid, a'th galon a'th ddyrchafodd i ym-
ffrostio: eistedd yn awr yn dy dŷ; pa ham
yr wyt yn ymyrryd er drwg *i ti dy hun,* fel
y syrthit ti, a Judah gyd â thi?
20 Ond ni wrandawai Amasïah; canys
g Pen. 22. 7. g oddi wrth DDUW'r *oedd* hynny, fel y
rhoddid hwynt yn llaw *y gelyn,* am iddynt
geisio duwiau Edom.
21 Felly Joas brenhin Israel a aeth i fynu,
a hwy a welsant wynebau eu gilydd, efe ac
Amasïah brenhin Judah, yn Bethsemes, yr
hon *oedd* yn Judah.

22 A Judah a darawyd o flaen Israel, a
hwy a ffoisant bawb i'w pebyll.
23 A Joas brenhin Israel a ddaliodd A-
masïah mab Joas, fab h Jehoahaz brenhin h Edrych Pen. 21. 17. a 22. 1, 6.
Judah, yn Bethsemes, ac a'i dug ef i Jeru-
salem, ac a dorrodd i lawr fur Jerusalem,
o borth Ephraim hyd borth ‖ y gongl, ‖ Heb. *yr hwn sydd yn wynebu.*
pedwar can cufydd.
24 Ac *efe a gymmerth* yr holl aur, a'r
arian, a'r holl lestri a gafwyd yn nhŷ DDUW
gyd ag Obed-edom, a thrysorau tŷ'r bren-
hin, a'r gwystlon hefyd, ac a ddychwelodd i
Samaria.
25 ¶ Ac Amasïah mab Joas brenhin Ju-
dah a fu fyw, wedi marwolaeth Joas mab Je-
hoahaz brenhin Israel, bymtheng mlynedd.
26 A'r rhan arall o'r gweithredoedd cyn-
taf a diweddaf i Amasïah, wele, onid *ydynt*
hwy yn ysgrifenedig yn llyfr brenhinoedd
Judah ac Israel?
27 ¶ Ac wedi'r amser yr ymadawodd 810.
Amasïah oddi ar ol yr ARGLWYDD, hwy
a frad-fwriadasant fradwriaeth yn ei erbyn
ef yn Jerusalem, ac efe a ffodd i Lachis:
ond hwy a anfonasant ar ei ol ef i Lachis,
ac a'i lladdasant ef yno.
28 A hwy a'i dygasant ef ar feirch, ac
a'i claddasant ef gyd â'i dadau † yn ninas † Sef, *dinas Dafydd,* 2 Bren. 14. 20.
Judah.

## PEN. XXVI.

1 *Uzzïah yn frenhin ar ol Amasïah, ac yn
llywodraethu yn dda tra fu fyw Zecha-
rïah, ac yn llwyddo. 16 Wedi hynny yn
balchïo, ac yn cymmeryd arno'r offeir-
iadaeth, ac yn cael ei daro â gwahan-glwyf.
22 Efe yn marw, a Jotham yn teyrnasu ar
ei ol ef.*

YNA holl bobl Judah a gymmerasant 810.
† a Uzzïah, ac yntau yn fab un † Neu, *Azarïah.*
mlwydd ar bymtheg, ac a'i hurddasant ef a 2 Bren.
yn frenhin yn lle Amasïah ei dad. 14. 21. a 15.
2 Efe a adeiladodd Eloth, ac a'i dug hi 1.
drachefn i Judah, ar ol huno o'r brenhin
gyd â'i dadau.
3 Mab un mlwydd ar bymtheg *oedd*
Uzzïah pan ddechreuodd efe deyrnasu, a
deuddeng mlynedd a deugain y teyrnasodd
efe yn Jerusalem: ac enw ei fam ef *oedd*
Jecholïah o Jerusalem.
4 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* union
yngolwg yr ARGLWYDD, yn ol yr hyn
oll a wnaethai Amasïah ei dad ef.
5 Ac b efe a ymgeisiodd â Duw yn nydd- b Edrych
iau Zecharïah, yr hwn c oedd ganddo ddeall Pen. 24. 2.
‡ yngweledigaethau Duw: a'r dyddiau c Gen. 41. 15.
y ceisiodd efe yr ARGLWYDD, Duw a'i Dan. 1. 17.
llwyddodd ef. a 2. 19. a
6 Ac efe a aeth allan, ac d a ryfelodd yn 10. 1.
erbyn y Philistiaid, ac a dorrodd i lawr fur ‡ Heb.
Gath, a mur Jabneh, a mur Asdod, ac a *yn gweled Duw.*
adeiladodd ddinasoedd yn Asdod, ac ym d Esay 14.
mysg y Philistiaid. 29.
7 A Duw a'i cynnorthwyodd ef yn er- Cylch
byn e y Philistiaid, ac yn erbyn yr Arab- 800.
iaid, y rhai oedd yn trigo yn Gur-baal, a'r e Pen. 21.
Mehuniaid. 16.
8 A'r Ammoniaid a roisant roddion i
Uzzïah: a'i enw ef a aeth hyd y mynediad
i'r Aipht: o herwydd efe a ymgryfhaodd
yn ddirfawr.
9 Hefyd Uzzïah a adeiladodd dyrau yn f Neh. 3. 13, 19, 32.
Jerusalem wrth f borth y gongl, ac wrth Zec. 14. 10.
borth y glynn, ac wrth droad *y mur,* ac a'u § Neu,
§ cadarnhaodd hwynt. *cyweir-iodd.*
10 Ac efe a adeiladodd dyrau yn yr an-
ialwch, ac a ‖ gloddiodd bydewau lawer; ‖ Neu, *naddodd.*

oblegid yr oedd ganddo lawer o anifeiliaid,
yn y dyffryndir ac yn y gwastadedd: *a*
llafurwŷr a gwinllanwŷr yn y mynyddoedd,
† Neu, *maesydd ffrwythlawn.* ac yn † Carmel: canys hoff oedd ganddo
*goledd* y ddaear.
11 Ac yr oedd gan Uzziah lu o ryfelwŷr,
yn myned allan yn fyddinoedd, yn ol nifer
eu cyfrif hwynt, trwy law Jeiel yr ysgrif-
ennydd, a Maaseiah y llywydd, dan law
Hananiah, *un* o dywysogion y brenhin.
12 Holl nifer pennau cenedl y rhai cedyrn
o nerth *oedd* ddwy fil a chwe chant.
13 A than eu llaw hwynt *yr oedd* llu
grymmus, tri chan mil a saith mil a phum
cant, yn rhyfela â chryfder nerthol, i gyn-
northwyo'r brenhin yn erbyn y gelyn.
14 Ac Uzziah a ddarparodd iddynt, *sef*
i'r holl lu, dariannau, a gwaywffyn, a
‡ Heb. *cherrig tafl.* helmau, a llurigau, a bwaau, a ‡ thaflau *i*
*daflu* cerrig.
15 Ac efe a wnaeth yn Jerusalem offer
trwy gelfyddyd rhai cywraint, i fod ar y
tyrau ac ar y conglau, i ergydio saethau a
cherrig mawrion: a'i enw ef a aeth ym
mhell, canys yn rhyfedd y cynnorthwywyd
ef, nes ei gadarnhâu.
Cylch 765. 16 ¶ Ond pan aeth yn gryf, ei galon a
ddyrchafwyd i'*w* ddinystr *ei hun*; canys efe
a droseddodd yn erbyn yr ARGLWYDD ei
[g] Felly 2 Bren. 16. 12, 13. DDUW: ac efe [g] a aeth i mewn i deml yr
ARGLWYDD i arogl-darthu ar allor yr
arogl-darth.
17 Ac Azariah'r offeiriad a aeth i mewn
ar ei ol ef, a chyd ag ef bedwar ugain o
offeiriaid yr ARGLWYDD, yn feibion
grymmus:
18 A hwy a safasant yn erbyn Uzziah y
[h] Num. 18. 7. brenhin, ac a ddywedasant wrtho, [h] Ni
[i] Exod. 30. 7. *pherthyn* i ti, Uzziah, arogl-darthu i'r AR-
GLWYDD, ond i'r [i] offeiriaid meibion Aa-
ron, y rhai a gyssegrwyd i arogl-darthu:
dos allan o'r cyssegr; canys ti a droseddaist,
ac ni *bydd hyn* i ti yn ogoniant oddi wrth
yr ARGLWYDD DDUW.
19 Yna y llidiodd Uzziah, a'r arogl-darth
i arogl-darthu *oedd* yn ei law ef: a thra
ydoedd efe yn llidiog yn erbyn yr offeiriaid,
gwahan-glwyf a gyfododd yn ei dalcen ef,
yngŵydd yr offeiriaid, yn nhŷ'r ARGLWYDD,
ger llaw allor yr arogl-darth.
20 Ac edrychodd Azariah yr arch-offei-
riad a'r holl offeiriaid arno ef, ac wele, *yr*
*oedd* efe yn wahan-glwyfus yn ei dalcen, a
gwnaethant iddo frysio oddi yno: ac yn-
[k] Megis Est. 6. 12. tau hefyd [k] a frysiodd i fyned allan, o he-
rwydd i'r ARGLWYDD ei daraw ef.
[l] 2 Bren. 15. 5. 21 [l] Ac Uzziah y brenhin a fu wahan-
glwyfus hyd ddydd ei farwolaeth, ac a
[m] Lef. 13. 46. drigodd yn wahan-glwyfus [m] mewn tŷ
Num. 5. 2. § neillduol; canys efe a dorrasid ymaith o
§ Heb. *rhydd.* dŷ'r ARGLWYDD: a Jotham ei fab ef *oedd*
ar dŷ'r brenhin, yn barnu pobl y wlad.
22 ¶ A'r rhan arall o weithredoedd cyn-
[n] Esay 1. 1. taf a diweddaf Uzziah, a 'sgrifenodd [n] Esay
y prophwyd mab Amos.
23 Felly Uzziah a hunodd gyd â'i dadau,
a chladdasant ef gyd â'i dadau ym maes
beddrod y brenhinoedd; canys dywedas-
ant, Gwahan-glwyfus *ydyw* efe. A Jotham
ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PEN. XXVII.

1 *Jotham yn teyrnasu yn dda, ac yn llwyddo:*
*5 yn darostwng yr Ammoniaid. 7 Ei*
*deyrnasiad ef. 9 Ac Ahaz yn teyrnasu ar*
*ei ol ef.*

MAB [a] pum mlwydd ar hugain *oedd* Jo- 758.
tham pan ddechreuodd efe deyrnasu, [a] 2 Bren.
ac un mlynedd ar bymtheg y teyrnasodd 15. 32, &c.
efe yn Jerusalem, ac enw ei fam ef *oedd*
Jerusah merch Sadoc.
2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* union
yngolwg yr ARGLWYDD, yn ol yr hyn oll
a wnelsai Uzziah ei dad; eithr nid aeth efe
i deml yr ARGLWYDD. [b] A'r bobl oedd [b] 2 Bren.
etto yn ymlygru. 15. 35.
3 Efe a adeiladodd y porth uchaf i dŷ'r 756.
ARGLWYDD: ac ar fur † y tŵr yr adeil- † *Ophel.*
adodd efe lawer.
4 Dinasoedd hefyd a adeiladodd efe ym
mynyddoedd Judah, ac yn y coedydd yr
adeiladodd efe balasau a thyrau.
5 ¶ Ac efe a ryfelodd yn erbyn brenhin
meibion Ammon, ac a aeth yn drech nâ
hwynt. A meibion Ammon a roddasant
iddo ef gan talent o arian y flwyddyn honno,
a deng mil corus o wenith, a deng mil corus
o haidd. Hyn a roddodd meibion Ammon
iddo ef yr ail flwyddyn a'r drydedd.
6 Felly Jotham a aeth yn gadarn, oblegid
efe ‡ a barottôdd ei ffyrdd ger bron yr AR- ‡ Neu, *sicrhaodd.*
GLWYDD ei DDUW.
7 ¶ A'r rhan arall o hanes Jotham, a'i
holl ryfeloedd ef, a'i ffyrdd, wele, *y maent*
yn ysgrifenedig yn llyfr brenhinoedd Israel
a Judah.
8 Mab pum mlwydd ar hugain oedd efe
pan ddechreuodd deyrnasu, ac un mlynedd
ar bymtheg y teyrnasodd efe yn Jerusalem.
9 ¶ A Jotham a hunodd gyd â'i dadau, a 742.
chladdasant ef yn ninas Dafydd. Ac Ahaz
ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PEN. XXVIII.

1 *Ahaz yn teyrnasu yn ddrygionus, a'r Sy-*
*riaid yn ei flino ef. 6 Yr Israeliaid yn*
*caeth-gludo gwŷr Judah, a thrwy gyngor*
*Oded y prophwyd yn eu gollwng hwy*
*adref. 16 Ahaz yn gyrru am gymmorth*
*i Assyria, a hynny heb lesu iddo: 22 yn*
*ei gyfyngder yn chwanegu ei ddelw-addol-*
*iaeth: 26 yn marw, a Hezeciah yn dyfod*
*ar ei ol ef.*

MAB [a] ugain mlwydd *oedd* Ahaz pan 742.
ddechreuodd efe deyrnasu, ac un [a] 2 Bren.
mlynedd ar bymtheg y teyrnasodd efe yn 16. 2.
Jerusalem: ond ni wnaeth efe yr hyn *oedd*
union yngolwg yr ARGLWYDD, fel Dafydd
ei dad.
2 Eithr efe a rodiodd yn ffyrdd brenhin-
oedd Israel, ac a wnaeth i Baalim *ddelwau*
toddedig.
3 Ac efe a † arogl-darthodd yn nyffryn † Neu,
‡ Ben-hinnom, ac a losgodd [b] ei blant yn *offrymmodd aberth.*
tân, yn ol ffieidd-dra'r cenhedloedd a fwri-
asai'r ARGLWYDD allan o flaen meibion ‡ *mab Hinnom.*
Israel.
4 Efe a aberthodd hefyd, ac a arogl- [b] Lef. 18.
darthodd yn yr uchelfeydd, ac ar y bryn- 21.
iau, a than bob pren gwyrddlas.
5 Am hynny 'r [c] ARGLWYDD ei DDUW [c] Esay 7. 1.
a'i rhoddodd ef yn llaw brenhin Syria; a Cylch
hwy a'i tarawsant ef, ac a gaeth-gludasant 741.
ymaith oddi ganddo ef gaeth-glud fawr,
ac a'u dygasant i Ddamascus. Ac yn llaw
brenhin Israel hefyd y rhoddwyd ef, yr
hwn a'i tarawodd ef â lladdfa fawr.
6 ¶ Canys [d] Pecah mab Remaliah a ladd- [d] 2 Bren.
odd yn Judah chwech ugain mil mewn un 15. 27.
diwrnod, hwynt oll yn feibion grymmus;
am wrthod o honynt ARGLWYDD DDUW
eu tadau.

7 A Zichri, gwr grymmus o Ephraim, a
laddodd Maaseiah fab y brenhin, ac Azri-
† Heb. cam llywodraethwr y tŷ, ac Elcanah † y
*yr ail i'r* nesaf at y brenhin.
*brenhin.* 8 A meibion Israel a gaeth-gludasant o'u
brodyr ddau can mil, yn wragedd, yn feib-
ion, ac yn ferched, ac a 'sglyfaethasant an-
rhaith fawr oddi arnynt, ac a ddygasant yr
yspail i Samaria.
9 Ac yno 'r oedd prophwyd i'r Ar-
glwydd, a'i enw Oded; ac efe a aeth
allan o flaen y llu oedd yn dyfod i Samaria,
[e] Psal. 69. ac a ddywedodd wrthynt, Wele, [e] o herwydd
26. digofaint Arglwydd Dduw eich tadau yn
Esay 10. 5. erbyn Judah, y rhoddodd efe hwynt yn eich
a 47. 6. llaw chwi, a lladdasoch hwynt mewn cyn-
Ezec. 25. 12, 15. a 26. 2. ddaredd [f] yn cyrhaeddyd hyd y nefoedd.
Obad. 16, &c. 10 Ac yn awr yr ydych chwi yn am-
Zech. 1. 15. canu darostwng meibion Judah a Jerusalem,
[f] Ezra 9. 6. yn gaeth-weision, ac yn gaeth-forwynion
i chwi: onid *oes* gyd â chwi, ïe gyd â chwi,
bechodau yn erbyn yr Arglwydd eich
Duw?
11 Yn awr gan hynny gwrandêwch ar-
naf fi, a gollyngwch adref y gaeth-glud a
gaeth-gludasoch o'ch brodyr: oblegid *y*
*mae* llidiog ddigofaint yr Arglwydd ar-
noch chwi.
12 Yna rhai o bennaethiaid meibion E-
phraim, Azarïah mab Johanan, Berechïah
mab Mesilemoth, a Jehizcïah mab Sâlum,
ac Amasa mab Hadlai, a gyfodasant yn
erbyn y rhai oedd yn dyfod o'r filwri-
aeth,
13 Ac a ddywedasant wrthynt, Ni ddyg-
wch y gaeth-glud yma: canys gan i ni be-
chu *eisoes* yn erbyn yr Arglwydd, yr ydych
chwi yn amcanu 'chwanegu ar ein pechodau
ni, ac ar ein camweddau: canys *y mae* ein
camwedd ni yn fawr, ac *y mae* digofaint
llidiog yn erbyn Israel.
14 Felly y llu a adawodd y gaeth-glud
a'r anrhaith o flaen y tywysogion, a'r holl
gynnulleidfa.
[g] Adn. 12. 15 A'r gwŷr, [g] y rhai a enwyd wrth eu
henwau, a gyfodasant ac a gymmerasant
y gaeth-glud, ac a ddilladasant eu holl rai
noethion hwynt â'r yspail, a dilladasant
hwynt, a rhoddasant iddynt esgidiau, ac a
wnaethant iddynt fwytta ac yfed; ennei-
niasant hwynt hefyd, a dygasant ar asynod
bob un llesg, ïe dygasant hwynt i Jericho,
[h] Deut. 34. 3. [h] dinas y palmwŷdd, at eu brodyr. Yna
Barn. 1. 16. hwy a ddychwelasant i Samaria.
[i] 2 Bren. 16. 7. 16 ¶ [i] Yr amser hwnnw yr anfonodd y
brenhin Ahaz at frenhinoedd Assyria i'w
gynnorthwyo ef.
17 A'r Edomiaid a ddaethent etto, ac a
darawsent Judah, ac a gaeth-gludasent
gaeth-glud.
[k] Ezec. 16. 27, 57. 18 [k] Y Philistiaid hefyd a ruthrasent i
ddinasoedd y gwastadedd, a thu dehau Ju-
dah, ac a ynnillasent Bethsemes, ac Ajalon,
a Gederoth, a Socho a'i phentrefydd, Timnah
hefyd a'i phentrefydd, a Gimzo a'i phen-
trefydd; ac a drigasant yno.
19 Canys yr Arglwydd a ddarostyng-
odd Judah, o achos Ahaz brenhin Israel:
[l] Exod. 32. 25. oblegid efe a [l] noethodd Judah, gan
droseddu yn erbyn yr Arglwydd yn ddir-
fawr.
740. 20 A [m] Thilgath-pilneser brenhin Assyria
[m] 2 Bren. 15. 29. a ddaeth atto ef, ac a gyfyngodd arno ef,
ac ni's cynnorthwyodd ef.
21 Er i Ahaz gymmeryd rhan allan o dŷ 'r
Arglwydd, ac o dŷ 'r brenhin, a chan

y tywysogion, a'i rhoddi i frenhin Assyria;
etto ni's cynnorthwyodd efe ef.
22 ¶ A'r amser yr oedd yn gyfyng arno,
efe a 'chwanegodd droseddu yn erbyn yr
Arglwydd: hwn *yw* 'r brenhin Ahaz.
23 Canys [n] efe a aberthodd i dduwiau [n] Edrych
Damascus, y rhai a'i tarawsent ef; ac efe Pen. 25. 14.
a ddywedodd, Am i dduwiau brenhinoedd 741.
Syria eu cynnorthwyo hwynt, minnau a
aberthaf iddynt hwy, fel y'm cynnorthwy-
ont innau: ond hwy a fuant iddo ef ac i
holl Israel yn dramgwydd.
24 Ac Ahaz a gasglodd lestri tŷ Duw,
ac a ddarniodd lestri tŷ Duw, ac a [o] gau- [o] Edrych
odd ddrysau tŷ 'r Arglwydd, ac a wnaeth Pen. 29. 3.
iddo allorau ym mhob congl i Jeru-
salem.
25 Ac ym mhob dinas yn Judah y gwnaeth
efe uchelfeydd i ‡ arogl-darthu i dduwiau ‡ Neu,
dieithr, ac a ddigllonodd Arglwydd Dduw *offrymmu.*
ei dadau.
26 ¶ A'r rhan arall o'i hanes ef, a'i holl
ffyrdd, cyntaf a diweddaf, wele hwy yn
ysgrifenedig yn llyfr brenhinoedd Judah ac
Israel.
27 Ac Ahaz a hunodd gyd â'i dadau, a 741
hwy a'i claddasant ef yn y ddinas yn Jeru-
salem, ond ni ddygasant hwy ef i feddrod
brenhinoedd Israel. A Hezecïah ei fab a
deyrnasodd yn ei le ef.

## PEN. XXIX.

*1 Y brenhin duwiol Hezecïah, 3 yn adferu gwir grefydd, 5 yn cynghori'r Lefiaid: 12 a hwythau yn ymsancteiddio, ac yn glanhâu tŷ Dduw. 20 Hezecïah yn aberthu ebyrth cyhoedd, lle 'r oedd y Lefiaid yn barottach na'r offeiriaid.*

MAB [a] pum mlwydd ar hugain *oedd* He- 741.
zecïah *pan* ddechreuodd efe deyrnasu, [a] 2 Bren.
a naw mlynedd ar hugain y teyrnasodd efe 18. 1.
yn Jerusalem, ac enw ei fam ef *oedd* Abïah
merch Zecharïah
2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* union
yngolwg yr Arglwydd, yn ol yr hyn oll a
wnelsai Dafydd ei dad.
3 ¶ Yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad 726.
ef, yn y mis cyntaf, [b] efe a agorodd ddrys- [b] Edrych
au tŷ 'r Arglwydd, ac a'u cyweiriodd Pen. 28. 24.
hwynt. Adn. 7.
4 Ac efe a ddug i mewn yr offeiriaid, a'r
Lefiaid, ac a'u casglodd hwynt ynghŷd i
heol y dwyrain,
5 Ac a ddywedodd wrthynt hwy, Gwran-
dêwch fi, O Lefiaid, ymsancteiddiwch yn
awr, a sancteiddiwch dŷ Arglwydd Dduw
eich tadau, a dygwch yr aflendid allan o'r
*lle* sanctaidd.
6 Canys ein tadau ni a droseddasant, ac
a wnaethant yr hyn *oedd* ddrwg yngolwg
yr Arglwydd ein Duw, ac a'i gwrthod-
asant ef, ac a droisant eu hwynebau oddi
wrth babell yr Arglwydd, ac a † droisant † Heb.
*eu* gwarrau. *rhoisant.*
7 [c] Caeasant hefyd ddrysau 'r porth, ac [c] Pen. 28.
a ddiffoddasant y lampau, ac nid arogl- 24.
darthasant arogl-darth, ac ni offrymma-
sant boeth-offrymmau yn y cyssegr i Dduw
Israel.
8 Am hynny digofaint yr Arglwydd
a ddaeth yn erbyn Judah a Jerusalem, ac efe
a'u rhoddodd hwynt yn gyffro, yn syndod,
ac [d] yn watwargerdd, fel yr ydych yn [d] 1 Bren. 9.
gweled â'ch llygaid. 8.
9 Canys wele, [e] ein tadau ni a syrthiasant [e] Pen. 28.
trwy 'r cleddyf, ein meibion hefyd, a'n 5, 6, 8.

merched, a'n gwragedd, *ydynt* mewn caethiwed o herwydd hyn.

10 Yn awr *y mae* yn fy mryd i wneuthur cyfammod ag ARGLWYDD DDUW Israel; fel y tro ei ddigofaint llidiog ef oddi wrthym ni.

† Neu, *twyller chwi.* f Num. 3. 6. a 8. 14. a 18. 2, 6.

11 Fy meibion, na † fyddwch ddifraw yn awr: canys yr ARGLWYDD f a'ch dewisodd chwi i sefyll ger ei fron ef, i weini iddo ef, ac i fod yn gweini, ac yn arogldarthu iddo ef.

12 ¶ Yna y Lefiaid a gyfodasant, Mahath mab Amasai, a Joël mab Azarïah o feibion y Cohathiaid: ac o feibion Merari; Cis mab Abdi, ac Azarïah mab Jehalelel: ac o'r Gersoniaid; Joah mab Zimmah, ac Eden mab Joah:

13 Ac o feibion Elisaphan; Simri, a Jeiel: ac o feibion Asaph; Zecharïah, a Mattanïah:

14 Ac o feibion Heman; Jehïel, a Simei: ac o feibion Jeduthun; Semaiah, ac Uzzïel.

‡ Neu, *yn achosion.*

15 A hwy a gynnullasant eu brodyr, ac a ymsancteiddiasant, ac a ddaethant yn ol gorchymyn y brenhin, ‡ trwy eiriau 'r ARGLWYDD, i lanhâu tŷ 'r ARGLWYDD.

16 A'r offeiriaid a ddaethant i fewn † tŷ 'r ARGLWYDD i'w lanhâu ef, ac a ddygasant allan yr holl frynti a gawsant hwy yn nheml yr ARGLWYDD, i gyntedd tŷ 'r ARGLWYDD. A'r Lefiaid a'i cymmerasant, i'w ddwyn ymaith allan i afon Cidron.

726.

17 Ac yn y *dydd* cyntaf o'r mis cyntaf y dechreuasant *ei* sancteiddio, ac ar yr wythfed dydd o'r mis y daethant i borth yr ARGLWYDD: ac mewn wyth niwrnod y sancteiddiasant dŷ 'r ARGLWYDD, ac yn yr unfed dydd ar bymtheg o'r mis cyntaf y gorphenasant.

18 Yna y daethant hwy i mewn at Hezecïah y brenhin, ac a ddywedasant, Glanhasom holl dŷ 'r ARGLWYDD, ac allor y poeth-offrwm, a'i holl lestri, a bwrdd y *bara* gosod, a'i holl lestri.

19 A'r holl lestri a fwriasai 'r brenhin Ahaz ymaith yn ei gamwedd, pan oedd efe yn teyrnasu, a barottoisom, ac a sancteiddiasom ni: ac wele hwy ger bron allor yr ARGLWYDD.

20 ¶ Yna Hezecïah y brenhin a gododd yn fore, ac a gasglodd dywysogion y ddinas, ac a aeth i fynu i dŷ yr ARGLWYDD.

g Lef. 4. 3, 14.

21 A hwy a ddygasant saith o fustych, a saith o hyrddod, a saith o ŵyn, a saith o fychod geifr, g yn bech-aberth dros y frenhiniaeth, a thros y cyssegr, a thros Judah: ac efe a ddywedodd wrth yr offeiriaid meibion Aaron, am offrymmu *y rhai hynny* ar allor yr ARGLWYDD.

h Lef. 8. 14, 15, 19, 24. Heb. 9. 21.

22 Felly hwy a laddasant y bustych, a'r offeiriaid a dderbyniasant y gwaed, ac h a'i taenellasant ar yr allor: lladdasant hefyd yr hyrddod, a thaenellasant y gwaed ar yr allor: a hwy a laddasant yr ŵyn, ac a daenellasant y gwaed ar yr allor.

§ Neu, *nesasant.* i Lef. 4. 15, 24.

23 A hwy a § ddygasant fychod y pech-aberth o flaen y brenhin a'r gynnulleidfa, ac i a osodasant eu dwylaw arnynt hwy.

24 A'r offeiriaid a'u lladdasant hwy, ac a wnaethant gymmod ar yr allor â'u gwaed hwynt, i wneuthur cymmod dros holl Israel; canys dros holl Israel yr archasai 'r brenhin *wneuthur* y poeth-offrwm, a'r pech-aberth.

k 1 Chron. 16. 4. a 25. 6.

25 k Ac efe a osododd y Lefiaid yn nhŷ 'r ARGLWYDD, â symbalau, ac â nablau, ac â thelynau, l yn ôl gorchymyn Dafydd, a Gad gweledydd y brenhin, a Nathan y prophwyd: canys y gorchymyn *oedd* trwy law 'r ARGLWYDD, trwy law ei brophwydi ef.

l 1 Chron. 23. 5. a 25. 1. Pen. 8. 14.

m 1 Chron. 23. 5. Amos 6. 5. n Num. 10. 10.

26 A'r Lefiaid a safasant ag offer m Dafydd, a'r offeiriaid â'r n udgyrn.

27 A Hezecïah a ddywedodd am offrymmu poeth-offrwm ar yr allor: a'r amser y dechreuodd y poeth-offrwm, y dechreuodd cân yr ARGLWYDD, â'r udgyrn, ac ag offer Dafydd brenhin Israel.

|| Heb. *caniad.*

28 A'r holl gynnulleidfa oedd yn addoli, a'r || cantorion yn canu, a'r udgyrn yn lleisio: *hyn* oll *a barhaodd* nes gorphen y poeth-offrwm.

29 A phan orphenasant hwy offrymmu, y brenhin a'r holl rai a gafwyd gyd ag ef, a ymgrymmasant, ac a addolasant.

30 A Hezecïah y brenhin a'r tywysogion a ddywedasant wrth y Lefiaid am foliannu 'r ARGLWYDD, â geiriau Dafydd, ac Asaph y gweledydd. Felly hwy a foliannasant â llawenydd, ac a ymostyngasant, ac a addolasant.

† Heb. *y llanwasoch eich llaw.* o Lef. 7. 12.

31 A Hezecïah a attebodd ac a ddywedodd, Yn awr † yr ymgyssegrasoch chwi i 'r ARGLWYDD; nesêwch, a dygwch ebyrth, ac o ebyrth moliant i dŷ 'r ARGLWYDD. A'r gynnulleidfa a ddygasant ebyrth, ac ebyrth moliant, a phob ewyllysgar o galon, boeth-offrymmau.

32 A rhifedi 'r poeth-offrymmau a ddug y gynnulleidfa, oedd ddeg a thrugain o fustych, cant o hyrddod, dau cant o ŵyn: y rhai hyn oll *oedd* yn boeth-offrwm i 'r ARGLWYDD.

33 A'r pethau cyssegredig *oedd* chwe chant o fustych, a thair mil o ddefaid.

p Pen. 35. 11.

34 Ond yr oedd rhy fychan o offeiriaid, fel na allent flingo 'r holl boeth-offrymmau: am hynny p eu brodyr y Lefiaid a'u cynnorthwyasant hwy, nes gorphen y gwaith, ac nes i 'r offeiriaid ymgyssegru: canys y Lefiaid *oedd* uniawnach o galon i ymgyssegru nâ 'r offeiriaid.

35 Y poeth-offrymmau hefyd *oedd* yn aml, gyd â brasder yr hedd-offrwm, a'r ddiod-offrwm i 'r poeth-offrymmau. Felly y trefnwyd gwasanaeth tŷ 'r ARGLWYDD.

36 A Hezecïah a lawenychodd, a'r holl bobl, o herwydd parottôi o DDUW y bobl: oblegid yn ddisymmwth y bu 'r peth.

## PEN. XXX.

1 *Hezecïah yn cyhoeddi Pasg arbennig ar yr ail mis, i Judah ac i Israel.* 13 *Y gynnulleidfa, wedi distrywio allorau delw-addoliaeth, yn cadw 'r ŵyl bedwar diwrnod ar ddeg.* 27 *Yr offeiriaid a'r Lefiaid yn bendithio 'r bobl.*

A Hezecïah a anfonodd at holl Israel a Judah, ac a 'sgrifenodd lythyrau hefyd at Ephraim a Manasseh, i ddyfod i dŷ 'r ARGLWYDD i Jerusalem, i gynnal Pasg i ARGLWYDD DDUW Israel. 726.

a Num. 9. 10, 11.

2 A'r brenhin a ymgynghorodd, a'i dywysogion, a'r holl gynnulleidfa, yn Jerusalem, am gynnal y Pasg a yn yr ail mis.

b Exod. 12. 6, 18.

3 Canys ni allent ei gynnal ef b y pryd hwnnw; oblegid nid ymsancteiddiasai 'r offeiriaid ddigon, ac nid ymgasglasai 'r bobl i Jerusalem.

† Heb. *Ac union.*

4 † A da oedd y peth yngolwg y brenhin, ac yngolwg yr holl gynnulleidfa.

5 A hwy a orchymynasant gyhoeddi trwy
holl Israel, o Beerseba hyd Ddan, am ddyfod
i gynnal y Pasg i ARGLWYDD DDUW Israel
yn Jerusalem: canys ni wnaethent er ys
talm fel yr oedd yn ysgrifenedig.
6 Felly y rhedegwŷr a aethant â'r llythyr-
au o law'r brenhin a'i dywysogion trwy
holl Israel a Judah, ac wrth orchymyn y
brenhin, gan ddywedyd, O meibion Israel,
dychwelwch at ARGLWYDD DDUW Abra-
ham, Isaac, ac Israel, ac efe a ddychwel at
y gweddill a ddïangodd o honoch chwi o
c 2 Bren. law [c] brenhinoedd Assyria.
15. 19, 29. 7 Ac na fyddwch fel eich tadau, nac fel
eich brodyr, y rhai a droseddasant yn erbyn
ARGLWYDD DDUW eu tadau; am hynny
efe a'u rhoddodd hwynt yn anghyfannedd,
megis y gwelwch chwi.
8 Yn awr na chaledwch eich gwarr, fel
† Edrych eich tadau; † rhoddwch law i'r AR-
1 Chron. 29. GLWYDD, a deuwch i'w gyssegr a gyssegr-
24. odd efe yn dragywydd: a gwasanaethwch
Ezra 10. yr ARGLWYDD eich DUW, fel y tro llid ei
19. ddigofaint ef oddi wrthych chwi.
9 Canys os dychwelwch chwi at yr AR-
GLWYDD, eich brodyr chwi a'ch meibion
*a gânt* drugaredd ger bron y rhai a'u caeth-
gludodd hwynt, fel y dychwelont i'r wlad
d Exod. 34. yma: oblegid [d] grasol a thrugarog *yw*'r
6. ARGLWYDD eich DUW, ac ni thry efe
*ei* wyneb oddi wrthych, os dychwelwch
atto ef.
10 Felly y rhedegwŷr a aethant o ddinas
i ddinas trwy wlad Ephraim a Manasseh,
hyd Zabulon: ond hwy a wawdiasant, ac
a'u gwatwarasant hwy.
e Felly 11 Er hynny [e] gwŷr o Aser, a Manasseh,
Pen. 11. 16. ac o Zabulon, a ymostyngasant, ac a ddaeth-
Adn. 18. ant i Jerusalem.
12 Llaw DUW hefyd fu yn Judah, i roddi
iddynt un galon i wneuthur gorchymyn
y brenhin a'r tywysogion, yn ol gair yr
ARGLWYDD.
13 ¶ A phobl lawer a ymgasglasant i Je-
rusalem, i gynnal gwyl y bara croyw, yn yr
ail mis; cynnulleidfa fawr iawn.
14 A hwy a gyfodasant, ac a fwriasant
f Pen. 28. ymaith [f] yr allorau *oedd* yn Jerusalem:
24. bwriasant ymaith allorau'r arogl-darth, a
thaflasant *hwynt* i afon Cidron.
15 Yna y lladdasant y Pasg ar y pedwer-
ydd *dydd* ar ddeg o'r ail mis: yr offeiriaid
hefyd a'r Lefiaid a gywilyddiasant, ac a
ymsancteiddiasant, ac a ddygasant y poeth-
offrymmau i dŷ'r ARGLWYDD.
‡ Heb. 16 A hwy a safasant yn eu ‡ lle, wrth eu
sefyllfa. harfer, yn ol cyfraith Moses gwr DUW: yr
offeiriaid oedd yn taenellu'r gwaed o law y
Lefiaid.
17 Canys *yr oedd* llawer yn y gynnulleidfa
y rhai nid ymsancteiddiasent: ac ar y Le-
fiaid *yr oedd* lladd y Pasg dros yr holl rai
aflan, i'w sancteiddio i'r ARGLWYDD.
18 O herwydd llawer o'r bobl, *sef*
g Adn. 11. [g] llawer o Ephraim a Manasseh, Issachar, a
Zabulon, nid ymlanhasent; etto hwy a
fwyttasant y Pasg, yn amgenach nag yr
oedd yn ysgrifenedig. Ond Hezecïah a
weddïodd drostynt hwy, gan ddywedyd,
Yr ARGLWYDD daionus a faddeuo i bob un
19 A barottôdd ei galon i geisio DUW, *sef*
ARGLWYDD DDUW ei dadau, er na *lan-
hawyd ef* yn ol puredigaeth y cyssegr.
20 A'r ARGLWYDD a wrandawodd ar
Hezecïah, ac a iachaodd y bobl.
21 A meibion Israel, y rhai a gafwyd
yn Jerusalem, a gynhaliasant wyl y bara
croyw saith niwrnod trwy lawenydd mawr:
y Lefiaid hefyd a'r offeiriaid oedd yn mo-
liannu'r ARGLWYDD o ddydd i ddydd,
*gan ganu* ag offer § soniarus i'r AR- § Heb. *cryfder.*
GLWYDD.
22 A Hezecïah a ddywedodd wrth *fodd*
calon yr holl Lefiaid, y rhai oedd yn dysgu
gwybodaeth ddaionus yr ARGLWYDD;
a hwy a fwyttasant ar hŷd yr wyl saith
niwrnod, *ac* a aberthasant ebyrth hedd,
ac a gyffesasant i ARGLWYDD DDUW eu
tadau.
23 A'r holl gynnulleidfa a ymgynghor-
asant i gynnal saith o ddyddiau eraill: felly
y cynhaliasant [h] saith o ddyddiau *eraill trwy* h Edrych
lawenydd. 1 Bren. 8.
24 Canys Hezecïah brenhin Judah [i] a 65.
‖ roddodd i'r gynnulleidfa fil o fustych, a i Pen. 35. 7, 8.
saith mil o ddefaid; a'r tywysogion a ‖ Heb.
roddasant i'r gynnulleidfa fil o fustych, a *ddyrchafodd*, neu,
deng mil o ddefaid: a llawer o offeiriaid *offrymmodd.*
a ymsancteiddiasant.
25 A holl gynnulleidfa Judah a lawen-
ychasant, gyd â'r offeiriaid a'r Lefiaid, a'r
holl gynnulleidfa a ddaeth o Israel, a'r
dïeithriaid a ddaethai o wlad Israel, ac
oeddynt yn gwladychu yn Judah.
26 Felly y bu llawenydd mawr yn Jeru-
salem: canys er dyddiau Salomon mab
Dafydd brenhin Israel ni *bu* y cyffelyb yn
Jerusalem.
27 ¶ Yna yr offeiriaid a'r Lefiaid a gy-
fodasant, ac [k] a fendithiasant y bobl; a k Num. 6.
gwrandawyd ar eu llef hwynt, a'u gweddi 23.
hwynt a ddaeth *i fynu* i'w breswylfa † sanct- † Heb.
aidd ef, i'r nefoedd. *ei sancteiddrwydd ef.*

## PEN. XXXI.

1 *Y bobl yn chwannog i ddilëu delw-addol-
iaeth.* 2 *Hezecïah yn trefnu cylchoedd yr
offeiriaid a'r Lefiaid, ac yn parottôi gwaith
a chynhaliaeth iddynt.* 5 *Parodrwydd y
bobl i dalu degwm ac offrwm.* 11 *Hezecïah
yn gosod swyddogion i ddosparthu'r degym-
mau.* 20 *Purdeb Hezecïah.*

AC wedi gorphen hyn i gŷd, holl Israel 726.
y rhai † *oedd* bresennol a aethant † Heb. *a gafwyd.*
allan i ddinasoedd Judah, ac [a] a ddrylliasant a 2 Bren.
y delwau, ac a dorrasant y llwyni, ac a 18. 4.
ddistrywiasant yr uchelfeydd a'r allorau
allan o holl Judah a Benjamin, yn Ephraim
hefyd a Manasseh, nes *eu* ‡ llwyr ddifa. Yna ‡ Heb. *gorphen.*
holl feibion Israel a ddychwelasant bob un
i'w feddiant, i'w dinasoedd.
2 ¶ A Hezecïah a osododd ddosparth-
iadau'r offeiriaid a'r Lefiaid, yn eu cylch-
oedd, pob un yn ol ei weinidogaeth, yr
offeiriaid a'r Lefiaid i'r poeth-offrwm, ac
i'r ebyrth hedd, i weini, ac i foliannu, ac
i ganmol, ym mhyrth gwersylloedd yr AR-
GLWYDD.
3 A rhan y brenhin *oedd* o'i olud ei
hun i'r poeth-offrymmau, *sef* i boeth-
offrymmau y bore a'r hwyr, ac i boeth-
offrymmau'r Sabbothau, a'r newydd-
loerau, a'r gwyliau arbennig, fel *y mae*
yn ysgrifenedig [b] ynghyfraith yr AR- b Num. 28, a 29.
GLWYDD.
4 Efe a ddywedodd hefyd wrth y bobl,
trigolion Jerusalem, am roddi rhan i'r offei-
riaid, a'r Lefiaid, fel yr ymgryfhâent ynghy-
fraith yr ARGLWYDD.
5 ¶ A phan gyhoeddwyd y gair hwn,
meibion Israel a ddygasant yn aml, flaen-
ffrwyth yr ŷd, y gwin, a'r olew, a'r mel,

ac o holl gnwd y maes, a'r degwm o bob
*peth* a ddygasant hwy yn helaeth.
6 A meibion Israel a Judah, y rhai oedd
yn trigo yn ninasoedd Judah, hwythau a
ddygasant ddegwm gwartheg a defaid, a
c Lef. 27. 30. [c] degwm y pethau cyssegredig a gyssegrasid
Deut. 14. 28. i'r ARGLWYDD eu DUW, ac a'u gosodasant
† bob yn bentwr.
† Heb. yn bentyrrau yn bentyrrau.
7 Yn y trydydd mis y dechreuasant hwy
seilio'r pentyrrau, ac yn y seithfed mis y
gorphenasant *hwynt*.
8 A phan ddaeth Hezecïah a'r tywysogion,
a gweled y pentyrrau, hwy a fendithiasant
yr ARGLWYDD a'i bobl Israel.
9 A Hezecïah a ymofynodd â'r offeiriaid
a'r Lefiaid o herwydd y pentyrrau.
10 Ac Azarïah'r offeiriad pennaf o dŷ
Sadoc, a ddywedodd wrtho, ac a lefarodd,
d Mal. 3. 10. [d] Er pan ddechreuwyd dwyn offrymmau
i dŷ'r ARGLWYDD, bwyttasom a digon-
wyd ni, gweddillasom hefyd lawer iawn:
canys yr ARGLWYDD a fendithiodd ei bobl;
a'r gweddill *yw*'r amldra hyn.
11 ¶ A Hezecïah a ddywedodd am ba-
rottôi celloedd yn nhŷ'r ARGLWYDD; a
hwy a'u parottoisant,
12 Ac a ddygasant i mewn y blaen-
ffrwyth, a'r degwm, a'r *pethau* cyssegredig,
yn ffyddlon: a Chononïah y Lefiad *oedd*
flaenor arnynt hwy, a Simei ei frawd ef yn
ail.
13 Jehïel hefyd, ac Azazïah, a Nahath, ac
Asahel, a Jerimoth, a Jozabad, ac Elïel, ac
Ismachïah, a Mahath, a Benaiah, *oedd*
‡ Neu, *wrth*. swyddogion ‡ dan law Cononïah a Simei ei
frawd ef, trwy orchymyn Hezecïah y bren-
hin, ac Azarïah blaenor tŷ DDUW.
14 A Chore mab Imnah y Lefiad, y porth-
or tu a'r dwyrain, *oedd* ar y pethau a
offrymmid yn ewyllysgar i DDUW, i rannu
offrymmau'r ARGLWYDD, a'r pethau sanct-
eiddiolaf.
15 Ac wrth ei law ef *yr oedd* Eden, a
Miniamin, a Jesua, a Semaiah, Amarïah, a
e Jos. 21. 9. Sechanïah, yn [e] ninasoedd yr offeiriaid, yn
§ Neu, *ymddiried*. eu § swydd, i roddi i'w brodyr yn ol eu rhan,
i fawr ac i fychan:
16 Heb law y gwrrywiaid o'u cenedl
hwynt, o fab tair blwydd ac uchod, i bawb
a'r oedd yn dyfod i dŷ'r ARGLWYDD,
ddogn dydd yn ei ddydd, yn eu gwasanaeth
hwynt, o fewn eu goruchwyliaethau, yn ol
eu dosparthiadau;
17 I genedl yr offeiriaid wrth dŷ eu tadau,
f 1 Chron. 23. 24, 27. ac i'r Lefiaid [f] o fab ugain mlwydd ac
uchod, yn ol eu goruchwyliaethau, yn eu
dosparthiadau;
18 Ac i genedl eu holl blant hwy, eu
gwragedd, a'u meibion, a'u merched, trwy'r
|| Neu, *yn eu hymddiried yr ymsancteiddient yn yr hyn*, &c. holl gynnulleidfa: oblegid || trwy eu ffydd-
londeb y trinent hwy yn sanctaidd yr hyn
oedd sanctaidd:
19 Ac i feibion Aaron, yr offeiriaid, *y rhai*
*oedd* ym [g] meusydd pentrefol eu dinasoedd,
g Lef. 25. 34. Num. 35. ym mhob dinas, y gwŷr a enwasid wrth eu
henwau, i roddi rhannau i bob gwrryw ym
mysg yr offeiriaid, ac i'r holl rai a gyfrifwyd
wrth achau ym mhlith y Lefiaid.
20 ¶ Ac fel hyn y gwnaeth Hezecïah trwy
holl Judah, ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* dda
ac union, a'r gwirionedd, ger bron yr AR-
GLWYDD ei DDUW.
21 Ac ym mhob gwaith a ddechreuodd efe
yngweinidogaeth tŷ DDUW, ac yn y gyfraith,
ac yn y gorchymyn i geisio ei DDUW, efe a'i
gwnaeth â'i holl galon, ac a ffynnodd.

## PEN. XXXII.

1 *Senacherib yn dyfod yn erbyn Judah; a Hezecïah yn ymgadarnhâu, ac yn cysuro ei bobl.* 9 *Hezecïah ac Esay yn gweddïo yn erbyn cabledd Senacherib.* 21 *Angel yn difetha llu'r Assyriaid, a hynny yn barch i Hezecïah.* 24 *Hezecïah yn gweddïo yn ei glefyd, a Duw yn rhoi iddo argoel iechyd.* 25 *Hezecïah yn balchïo, a Duw yn ei ddarostwng ef.* 27 *Ei gyfoeth ef, a'i weithredoedd.* 31 *Ei fai ef ynghylch cenhadon Babilon.* 32 *Efe yn marw, a Manasseh yn teyrnasu ar ei ol ef.*

WEDI'r [a] pethau *hyn*, a'u sicrhâu, y 713.
daeth Senacherib brenhin Assyria, ac a 2 Bren.
a ddaeth i mewn i Judah; ac a wersyllodd 18. 13, &c.
yn erbyn y dinasoedd caerog, ac a feddyl- Esay 36. 1,
iodd eu † hynnill hwynt iddo ei hun. &c.
2 A phan welodd Hezecïah ddyfod Se- † Heb. *torri*.
nacherib, a *bod* ei wyneb ef i ryfela yn erbyn
Jerusalem;
3 Efe a ymgynghorodd â'i dywysogion,
ac â'i gedyrn, am argae dyfroedd y ffyn-
honnau, y rhai *oedd* allan o'r ddinas. A hwy
a'i cynnorthwyasant ef.
4 Felly pobl lawer a ymgasglasant, ac a
argaeasant yr holl ffynhonnau, a'r afon sydd
yn ‡ rhedeg trwy ganol y wlad, gan ddy- ‡ Heb. *lifeirio*.
wedyd, Pa ham y daw brenhinoedd Assyria,
ac y cânt ddyfroedd lawer?
5 Ac [b] efe a ymgryfhaodd, ac a adeiladodd b Esay 22.
yr holl fur drylliedig, ac a'i cyfododd i fynu 9.
hyd y tyrau, a mur arall oddi allan, ac a
gadarnhaodd [c] Milo *yn* ninas Dafydd, ac a c 2 Sam. 5.
wnaeth lawer o § biocellau ac o dariannau. 9.
6 Ac efe a osododd dywysogion rhyfel ar § Neu, *gleddyfau*,
y bobl, ac a'u casglodd hwynt atto i heol neu, *arfau*.
porth y ddinas, ac a lefarodd wrth *fodd* eu
calon hwynt, gan ddywedyd,
7 Ymwrolwch, ac ymgadarnhêwch; nac
ofnwch, ac na ddigalonnwch rhag brenhin
Assyria, na rhag yr holl dyrfa *sydd gyd* ag ef:
canys [d] *y mae* gyd â ni fwy nâ chyd ag ef. d 2 Bren.
8 Gyd ag ef *y mae* [e] braich cnawdol; 6. 16.
ond yr ARGLWYDD ein DUW *sydd gyd* e Jer. 17.
â ni, i'n cynnorthwyo, ac i ryfela ein 5. 1 Ioan 4.
rhyfeloedd. A'r bobl a || hyderasant ar 4.
eiriau Hezecïah brenhin Judah. || Heb. *bwysasant*.
9 ¶ [f] Wedi hyn yr anfonodd Senacherib 710.
brenhin Assyria ei weision i Jerusalem (ond f 2 Bren.
*yr ydoedd* efe ei hun *yn rhyfela* yn erbyn La- 18. 17.
chis, a'i holl † allu gyd ag ef) at Hezecïah † Heb.
frenhin Judah, ac at holl Judah, y rhai *oedd* *lywodraeth*.
yn Jerusalem, gan ddywedyd,
10 Fel hyn y dywedodd Senacherib bren-
hin Assyria, Ar ba beth yr ydych chwi yn
hyderu, chwi y rhai sy'n aros ‡ yngwarchae ‡ Heb.
o fewn Jerusalem? *yn yr amddiffynfa*.
11 Ond Hezecïah sydd yn eich hudo chwi,
i'ch rhoddi chwi i farw trwy newyn, a thrwy
syched, gan ddywedyd, Yr ARGLWYDD ein
DUW a'n gwared ni o law brenhin Assyria.
12 [g] Onid yr Hezecïah hwnnw a dynnodd g 2 Bren.
ymaith ei uchelfeydd ef, a'i allorau, ac a 18. 22.
orchymynodd i Judah a Jerusalem, gan ddy-
wedyd, O flaen un allor yr addolwch, ac ar
honno yr arogl-darthwch?
13 Oni wyddoch chwi beth a wneuthum,
mi a'm tadau, i holl bobl y tiroedd? ai gan
allu y gallai dduwiau cenhedloedd y gwled-
ydd achub eu gwlad o'm llaw i?
14 Pwy *oedd* ym mysg holl dduwiau'r
cenhedloedd hyn (y rhai a ddarfu i'm tadau
eu difetha) a allai waredu ei bobl o'm llaw
i, fel y gallai eich Duw chwi eich gwaredu
chwi o'm llaw i?

15 Yn awr gan hynny na thwylled Heze-
cïah chwi, ac na huded mo honoch fel hyn,
ac na choeliwch iddo ef: canys ni allodd
duw un genedl na theyrnas achub ei bobl o'm
llaw i, nac o law fy nhadau: pa faint llai y
gwared eich Duw chwychwi o'm llaw i?
16 A'i weision ef a ddywedasant ychwa-
neg yn erbyn yr ARGLWYDD DDUW, ac yn
erbyn Hezecïah ei was ef.
h 2 Bren. 19. 9. 17 h Ac efe a 'sgrifenodd lythyrau i
gablu ARGLWYDD DDUW Israel, ac i le-
faru yn ei erbyn ef, gan ddywedyd, Fel nad
achubodd duwiau cenhedloedd y gwledydd
eu pobl o'm llaw i, felly nid achub Duw
Hezecïah ei bobl o'm llaw i.
i 2 Bren. 18. 28. 18 i Yna y gwaeddasant hwy â llef uchel,
yn iaith yr Iuddewon, ar bobl Jerusalem y
rhai *oedd* ar y mur, i'w hofni hwynt, ac i'w
brawychu; fel yr ynnillent hwy 'r ddinas.
19 A hwy a ddywedasant yn erbyn Duw
Jerusalem fel yn erbyn duwiau pobloedd y
wlad, *sef* gwaith dwylaw dyn.
k 2 Bren. 19. 15. 20 k Am hynny y gweddïodd Hezecïah y
brenhin, ac Esay y prophwyd mab Amos,
ac a waeddasant i'r nefoedd.
l 2 Bren. 19. 35, &c. 21 ¶ l A'r ARGLWYDD a anfonodd ang-
Cylch 710. el, yr hwn a laddodd bob cadarn nerthol, a
*phob* blaenor a thywysog yngwersyll bren-
hin Assyria. Felly efe a ddychwelodd â
chywilydd *ar ei* wyneb i'w wlad ei hun.
A phan ddaeth efe i dŷ ei dduw, y rhai a
ddaethant allan o'i ymysgaroedd ei hun a'i
† Heb. *cwympasant.* † lladdasant ef yno â'r cleddyf.
22 Felly y gwaredodd yr ARGLWYDD
Hezecïah a thrigolion Jerusalem o law Se-
nacherib brenhin Assyria, ac o law pawb
*eraill*, ac a'u cadwodd hwynt oddi amgylch.
Neu, *anrhegion.* 23 A llawer a ddygasant ‡ roddion i'r AR-
GLWYDD i Jerusalem, a phethau gwerthfawr
i Hezecïah brenhin Judah; fel y dyrchaf-
wyd ef o hynny allan yngŵydd yr holl
genhedloedd.
713. 24 ¶ m Yn y dyddiau hynny y clefychodd
m 2 Bren. 20. 1. Hezecïah hyd farw, ac a weddïodd ar yr
Esay 38. 1. ARGLWYDD: yntau a lefarodd wrtho, ac a
roddes argoel iddo.
25 Ond ni thalodd Hezecïah drachefn yn
ol yr hyn a roddasid iddo; canys ei galon ef
a ddyrchafodd: a digofaint a ddaeth arno
ef, ac ar Judah a Jerusalem.
26 Er hynny Hezecïah a ymostyngodd o
herwydd dyrchafiad ei galon, efe a thrigolion
Jerusalem; ac ni ddaeth digofaint yr AR-
GLWYDD arnynt yn nyddiau Hezecïah.
27 ¶ Ac yr oedd gan Hezecïah gyfoeth ac
anrhydedd mawr iawn: ac efe a wnaeth
iddo drysorau o arian, ac o aur, ac o feini
gwerthfawr, o ber-aroglau hefyd, ac o da-
§ Heb. *dymuniad.* riannau, ac o bob llestri § hyfryd;
28 A selerau i gnwd yr ŷd, a'r gwin, a'r
olew; a phresebau i bob math ar anifail, a
chorlannau i'r dïadellau.
29 Ac efe a wnaeth iddo ddinasoedd, a
chyfoeth o ddefaid a gwartheg lawer: ca-
nys Duw a roddasai iddo ef gyfoeth mawr
iawn.
n Esay 22. 9, 11. 30 n A'r Hezecïah yma a argaeodd yr
aber uchaf i ddyfroedd Gihon, ac a'u dug
hwynt yn union oddi tanodd, tu a thu'r
gorllewin i ddinas Dafydd. A ffynnodd
|| Heb. *cyfieithyddion.* Hezecïah yn ei holl waith.
712. 31 ¶ Etto yn *neges* || cenhadau tywysogion
o 2 Bren. 20. 12. Babilon, y rhai a o anfonwyd atto ef i ymo-
fyn am y rhyfeddod a wnaethid yn y wlad,
Duw a'i gadawodd ef, i'w brofi ef, i wy-
Esay 39. 1. bod y cwbl *ag oedd* yn ei galon.

32 ¶ A'r rhan arall o hanes Hezecïah, a'i
garedigrwydd ef, wele hwy yn ysgrifenedig
p yngweledigaeth Esay y prophwyd mab p Esay 36.
Amos, *ac* yn q llyfr brenhinoedd Judah ac 37, 38, 39.
Israel. q 2 Bren.
33 A Hezecïah a hunodd gyd â'i dadau, a 18, 19, 20.
chladdasant ef yn yr uchaf o feddau meibion
Dafydd. A holl Judah a thrigolion Jerusa-
lem a wnaethant anrhydedd iddo ef wrth ei 698.
farwolaeth. A Manasseh ei fab a deyrnas-
odd yn ei le ef.

## PEN. XXXIII.

1 *Y brenhin annuwiol Manasseh,* 3 *yn gosod i fynu ddelw-addoliaeth, ac heb gymmeryd rhybudd.* 11 *Ei gaeth-gludo ef i Babilon:* 12 *a'i weddi at Dduw yn achos o'i rydd-hâd, ac yntau yn tynnu i lawr ddelw-addoliaeth.* 18 *Ei weithredoedd,* 20 *a'i farwolaeth ef, ac Amon yn dyfod ar ei ol ef.* 21 *Annuwiol deyrnasiad Amon, ai weision yn ei ladd ef.* 25 *Lladd y lleiddiaid, a Josïah yn myned yn frenhin.*

MAB a deuddeng mlwydd *oedd* Manas- 698.
seh pan ddechreuodd efe deyrnasu, a 2 Bren.
a phymtheng mlynedd a deugain y teyrnas- 21. 1, &c.
odd efe yn Jerusalem:
2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD, yn ol b ffieidd- b Deut. 18.
dra'r cenhedloedd a fwriasai'r ARGLWYDD 9.
allan o flaen meibion Israel.
3 ¶ Canys efe a † adeiladodd drachefn † Heb.
yr uchelfeydd, y rhai c a ddinystriasai Heze- *ddychwelodd*
cïah ei dad ef, ac a gyfododd allorau i Baa- *ac a adeil-*
lim, ac d a wnaeth lwyni, ac a addolodd *adodd.*
e holl lu'r nefoedd, ac a'u gwasanaethodd c 2 Bren.
hwynt. 18. 4.
4 Adeiladodd hefyd allorau yn nhŷ'r Pen. 30. 14. a 31. 1. a
ARGLWYDD, *am* yr hwn y dywedasai'r 32. 12.
ARGLWYDD, f Yn Jerusalem y bydd fy d Deut. 16.
enw i yn dragywydd. 21.
5 Ac efe a adeiladodd allorau i holl lu'r e Deut. 17. 3.
nefoedd yn nau gyntedd tŷ'r ARGLWYDD. f Deut. 12.
6 Ac efe g a yrrodd ei feibion trwy'r 11.
tân yn nyffryn mab Hinnom, ac a arferodd 1 Bren. 8.
frûd, a hudoliaeth, a chyfareddion, ac a 29. a 9. 3.
h fawrhaodd swynyddion, a dewiniaid: Pen. 6. 6. a 7. 16.
efe a wnaeth lawer o ddrwg yngolwg yr g Lef. 18.
ARGLWYDD, i'w ddigio ef. 21.
7 Ac i efe a osododd y ddelw gerfiedig Deut. 18. 10.
(y ddelw a wnelsai efe) yn nhŷ DDUW, 2 Bren. 23.
*am* yr hwn y dywedasai Duw wrth Dda- 10.
fydd, ac wrth Salomon ei fab, Yn k y tŷ h 2 Bren.
hwn, ac yn Jerusalem (yr hon a ddewisais 21. 6.
i o holl lwythau Israel) y gosodaf fy enw i 2 Bren. 21. 7.
yn dragywydd. k Psal. 132.
8 l Ac ni 'chwanegaf symmud troed 14.
Israel oddi ar y tir a ordeiniais i'ch tadau l 2 Sam. 7.
chwi; os gwyliant ar wneuthur yr hyn oll 10.
a orchymynais iddynt, yn ol yr holl gyf-
raith, a'r deddfau a'r barnedigaethau, trwy
law Moses.
9 Felly Manasseh a wnaeth i Judah a
thrigolion Jerusalem gyfeiliorni, a gwneu-
thur yn waeth nâ'r cenhedloedd a ddife-
thasai'r ARGLWYDD o flaen meibion Is-
rael.
10 Er llefaru o'r ARGLWYDD wrth Ma-
nasseh, ac wrth ei bobl, etto ni wrandaw-
sant hwy.
11 ¶ m Am hynny y dug yr ARGLWYDD 677.
arnynt hwy dywysogion llu brenhin Assy- m Deut. 28. 36.
ria, a hwy a ddaliasant Manasseh mewn dy- Job 36. 8.
rysni, ac a'i rhwymasant ef â ‡ dwy gadwyn, ‡ Neu,
ac a'i dygasant ef i Babilon. *llyffetheiriau.*
12 A phan oedd gyfyng arno ef, efe a
weddïodd ger bron yr ARGLWYDD ei

DDUW, ac a ymostyngodd yn ddirfawr o
flaen Duw ei dadau,
13 Ac a weddïodd arno ef: ac efe a fu
foddlon iddo, ac a wrandawodd ei ddy-
muniad ef, ac a'i dug ef drachefn i Jerusa-
lem i'w frenhiniaeth. Yna y gwybu Ma-
nasseh mai 'r ARGLWYDD *oedd* DDUW.
14 Wedi hyn hefyd efe a adeiladodd y
mur oddi allan i ddinas Dafydd, o du 'r
gorllewin i Gihon, yn y dyffryn, hyd y
ddyfodfa i borth y pysgod, ac a amgylch-
† Heb. *y tŵr*, odd † Ophel, ac a'i cyfododd yn uchel
Pen. 27. 3. iawn, ac a osododd dywysogion y llu yn yr
holl ddinasoedd caerog o fewn Judah.
15 Ac efe a dynnodd ymaith y duwiau
dïeithr, a'r ddelw, allan o dŷ 'r ARGLWYDD,
a'r holl allorau a adeiladasai efe ym mynydd
tŷ 'r ARGLWYDD, ac yn Jerusalem, ac a'*u*
taflodd allan o'r ddinas.
16 Ac efe a gyweiriodd allor yr AR-
GLWYDD, ac a aberthodd arni hi ebyrth
ⁿ Lef. 7. 12. hedd a ⁿ moliant; dywedodd hefyd wrth
Judah am wasanaethu ARGLWYDD DDUW
Israel.
17 Er hynny 'r bobl oedd etto yn aberthu
yn yr uchelfeydd: etto i 'r ARGLWYDD eu
DUW yn unig.
18 ¶ A'r rhan arall o hanes Manasseh, a'i
° 1 Sam. 9. 9. weddi ef at ei DDUW, a geiriau 'r ° gwele-
dyddion a lefarasant wrtho ef yn enw AR-
GLWYDD DDUW Israel, wele hwynt ym
mhlith geiriau brenhinoedd Israel.
19 Ei weddi ef hefyd, a'r *modd* y cymmod-
odd *DUW* ag ef, a'i holl bechod ef, a'i gam-
wedd, a'r lleoedd yr adeiladodd efe yn-
ddynt uchelfeydd, ac y gosododd lwyni,
a delwau cerfiedig, cyn ymostwng o hono
ef; wele hwynt yn ysgrifenedig ym mysg
‡ Neu, *Hozai*. geiriau ‡ 'r gweledyddion.
20 ¶ Felly Manasseh a hunodd gyd â'i
dadau, a chladdasant ef *yn* ei dŷ ei hun; ac
Amon ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.
643. 21 ¶ ᵖ Mab dwy flwydd ar hugain *oedd*
ᵖ 2 Bren. 21. 19, &c. Amon pan ddechreuodd efe deyrnasu, a dwy
flynedd y teyrnasodd efe yn Jerusalem.
22 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg yn-
golwg yr ARGLWYDD, fel y gwnaethai Ma-
nasseh ei dad ef: canys Amon a aberthodd
i 'r holl ddelwau cerfiedig a wnelsai Manasseh
ei dad ef, ac a'u gwasanaethodd hwynt.
23 Ond nid ymostyngodd efe ger bron
yr ARGLWYDD, fel yr ymostyngasai Ma-
nasseh ei dad ef: eithr yr Amon yma a
§ Heb. *amlhaodd gamwedd*. § bechodd fwyfwy.
24 A'i weision ef a frad-fwriadasant i'w
erbyn ef, ac a'i lladdasant ef yn ei dŷ ei
hun.
641. 25 ¶ Ond pobl y wlad a laddasant yr holl
rai a frad-fwriadasent yn erbyn y brenhin
Amon; a phobl y wlad a urddasant Josïah
ei fab ef yn frenhin yn ei le ef.

## PEN. XXXIV.

1 *Josïah yn teyrnasu yn dduwiol,* 3 *ac yn dinystrio delw-addoliaeth,* 8 *yn peri adgyweirio'r deml.* 14 *Hilcïah yn cael llyfr y gyfraith, a Josïah yn gyrru at Huldah i ymofyn â'r Arglwydd,* 23 *a hithau yn prophwydo dinystr Jerusalem, ond yr oedid hynny dros amser Josïah.* 29 *Josïah yn peri darllain llyfr y gyfraith yngŵydd yr holl bobl, ac yn adnewyddu y cyfammod â Duw.*

641. MAB ᵃ wyth mlwydd *oedd* Josïah pan
ᵃ 2 Bren. 22. 1, &c. ddechreuodd efe deyrnasu, ac un
mlynedd ar ddeg ar hugain y teyrnasodd
efe yn Jerusalem.

2 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* union
yngolwg yr ARGLWYDD, ac a rodiodd yn
ffyrdd Dafydd ei dad, ac ni ogwyddodd ar
y llaw ddehau nac ar y llaw aswy.
3 ¶ Canys yn yr wythfed flwyddyn o'i 634.
deyrnasiad (tra 'r ydoedd efe etto yn fach-
gen) efe a ddechreuodd geisio DUW Dafydd
ei dad: ac yn y ddeuddegfed flwyddyn efe 630.
a ddechreuodd ᵇ lanhâu Judah a Jerusalem ᵇ 1 Bren. 13. 2.
oddi wrth yr uchelfeydd, a'r llwyni, a'r
delwau cerfiedig, a'r delwau toddedig.
4 ᶜ Distrywiasant hefyd yn ei ŵydd ef ᶜ Lef. 26. 30.
allorau Baalim; a'r † delwau y rhai *oedd* i 2 Bren. 23. 4.
fynu oddi arnynt hwy a dorrodd efe: y
llwyni hefyd, a'r delwau cerfiedig, a'r † Neu, *haul-ddelwau*.
delwau toddedig, a ddrylliodd efe, ac a
faluriodd, taenodd hefyd *eu* llwch hwy ar
hŷd wyneb beddau y rhai a aberthasent
iddynt hwy.
5 ᵈ Ac esgyrn yr offeiriaid a losgodd efe ar ᵈ 2 Bren. 23. 20.
eu hallorau, ac a lanhaodd Judah a Jerusalem.
6 Felly *y gwnaeth efe* yn ninasoedd Ma-
nasseh, ac Ephraim a Simeon, a hyd Naph-
tali, â'u ‡ ceibiau oddi amgylch. ‡ Neu, *fyrdd*, neu, *morthwylion*.
7 A phan ddinystriasai efe 'r allorau a'r
llwyni, a dryllio o hono y delwau cerfie-
dig, gan *eu* malurio yn llwch, a thorri 'r
eilunod i gŷd trwy holl wlad Israel, efe a
ddychwelodd i Jerusalem.
8 ¶ Ac ᵉ yn y ddeunawfed flwyddyn o'i 624.
deyrnasiad ef, wedi glanhâu 'r wlad, a'r tŷ, ᵉ 2 Bren. 22. 3.
efe a anfonodd Saphan fab Asalïah, a Maa-
seiah tywysog y ddinas, a Joah fab Joahaz y
cofiadur, i gyweirio tŷ 'r ARGLWYDD ei
DDUW.
9 A phan ddaethant hwy at Hilcïah yr
arch-offeiriad, hwy a roddasant ᶠ yr arian ᶠ 2 Bren. 12. 4, &c.
a ddygasid i dŷ DDUW, y rhai a gasglasai 'r
Lefiaid oedd yn cadw 'r drysau, o law Ma-
nasseh ac Ephraim, ac oddi gan holl weddill
Israel, ac oddi ar holl Judah a Benjamin, a
hwy a ddychwelasant i Jerusalem.
10 A hwy a'*i* rhoddasant yn llaw y
gweithwŷr, y rhai oedd oruchwylwŷr ar
dŷ 'r ARGLWYDD: hwythau a'i rhoddasant
i wneuthurwŷr y gwaith, y rhai oedd yn
gweithio yn nhŷ 'r ARGLWYDD, i gyweirio,
ac i gadarnhâu 'r tŷ.
11 Rhoddasant hefyd i 'r seiri ac i 'r adeil-
adwŷr, i brynu cerrig nadd, a choed tu
ag at y cyssylltiadau, ac i § fyrddio 'r tai § Neu *lorio*.
a ddinystriasai brenhinoedd Judah.
12 A'r gwŷr oedd yn gweithio yn y
gwaith yn ffyddlon: ac arnynt hwy yn
olygwŷr *yr oedd* Jahath, ac Obadïah, y
Lefiaid, o feibion Merari; a Zecharïah, a
Mesùlam, o feibion y Cohathiaid, i'*w* han-
nog: ac o'r Lefiaid, pob un a oedd gyfa-
rwydd ar offer cerdd.
13 *Yr oeddynt* hefyd ar y cludwŷr, ac yn
olygwŷr ar yr holl rai oedd yn gweithio
ym mhob rhyw waith: ac o'r Lefiaid *yr oedd*
ysgrifenyddion, a swyddogion, a phorthorion.
14 ¶ A phan ddygasant hwy allan yr
arian a ddygasid i dŷ 'r ARGLWYDD, Hil-
cïah 'r offeiriad ᵍ a gafodd lyfr cyfraith yr ᵍ 2 Bren. 22. 8, &c.
ARGLWYDD, *yr hun a roddasid* trwy law
Moses.
15 A Hilcïah a attebodd ac a ddywedodd
wrth Saphan yr ysgrifenydd, Cefais lyfr y
gyfraith yn nhŷ 'r ARGLWYDD. A Hilcïah
a roddodd y llyfr at Saphan:
16 A Saphan a ddug y llyfr at y brenhin, ac
a ddug air drachefn i'r brenhin, gan ddywed-
yd, Yr hyn oll a roddwyd yn llaw dy weis-
ion di, y maent hwy yn ei wneuthur.

17 † Casglasant hefyd yr arian a gafwyd yn nhŷ 'r ARGLWYDD, a rhoddasant hwynt yn llaw 'r golygwŷr, ac yn llaw 'r gweithwŷr.

† Heb. *Tywalltasant, neu, Toddasant.*

18 Saphan yr ysgrifenydd a fynegodd hefyd i'r brenhin, gan ddywedyd, Hilcïah 'r offeiriad a roddodd i mi lyfr. A Saphan a ddarllenodd ynddo ef ger bron y brenhin.

19 A phan glybu 'r brenhin eiriau 'r gyfraith, efe a rwygodd ei ddillad.

20 A'r brenhin a orchymynodd i Hilcïah, ac i Ahicam fab Saphan, ac i ‡ Abdon fab Michah, ac i Saphan yr ysgrifenydd, ac i Asaiah gwas y brenhin, gan ddywedyd,

‡ Neu, *Achbor*, 2 Bren. 22. 12.

21 Ewch, ymofynwch â'r ARGLWYDD drosof fi, a thros y gweddill yn Israel ac yn Judah, am eiriau 'r llyfr a gafwyd: canys mawr *yw* llid yr ARGLWYDD a dywalltodd efe arnom ni, oblegid na chadwodd ein tadau ni air yr ARGLWYDD, gan wneuthur yn ol yr hyn oll *sydd* ysgrifenedig yn y llyfr hwn.

22 Yna 'r aeth Hilcïah, a'r rhai *a yrrodd* y brenhin, at Huldah y brophwydes, gwraig Salum mab [a] Ticfath, fab § Hasrah, ceidwad y gwisgoedd (a hi oedd yn aros yn Jerusalem yn yr || ysgol-dŷ) ac a ymddiddanasant â hi felly.

a 2 Bren. 22. 14.
§ Neu, *Harhas*, 2 Bren. 22. 14.
|| Neu, *ail ran.*

23 ¶ A hi a ddywedodd wrthynt, Fel hyn y dywedodd ARGLWYDD DDUW Israel, Dywedwch i'r gwr a'ch anfonodd chwi attaf fi,

24 Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD, Wele fi yn dwyn drwg ar y lle hwn, ac ar ei drigolion, *sef* yr holl felldithion *sydd* ysgrifenedig yn y llyfr a ddarllenasant hwy ger bron brenhin Judah:

25 Am iddynt fy ngwrthod i, ac arogldarthu i dduwiau dïeithr, i'm digio i â holl waith eu dwylaw; am hynny yr ymdywallt fy llid i ar y lle hwn, ac ni's diffoddir ef.

26 Ond am frenhin Judah, yr hwn a'ch anfonodd chwi i ymofyn â'r ARGLWYDD, fel hyn y dywedwch wrtho, Fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW Israel *am* y geiriau a glywaist;

27 Oblegid i'th galon feddalhâu, ac i tithau ymostwng o flaen DUW, pan glywaist ei eiriau ef yn erbyn y fan hon, ac yn erbyn ei thrigolion, ac ymostwng o honot ger fy mron, a rhwygo dy ddillad, ac wylo o'm blaen i; am hynny y gwrandewais innau, medd yr ARGLWYDD.

28 Wele, mi a'th gymmeraf di ymaith at dy dadau, a thi a ddygir ymaith i'r bedd mewn heddwch, fel na welo dy lygaid di yr holl ddrwg yr ydwyf fi yn ei ddwyn ar y fan hon, ac yn erbyn ei phreswylwŷr. Felly hwy a ddygasant air i'r brenhin drachefn.

29 ¶ [i] Yna 'r brenhin a anfonodd, ac a gynhullodd holl henuriaid Judah a Jerusalem.

i 2 Bren. 23. 1.

30 A'r brenhin a aeth i fynu i dŷ 'r ARGLWYDD, a holl wŷr Judah, a thrigolion Jerusalem, yr offeiriaid hefyd a'r Lefiaid, a'r holl bobl o fawr i fychan; ac efe a ddarllenodd, lle y clywsant hwy, holl eiriau llyfr y cyfammod, yr hwn a gawsid yn nhŷ 'r ARGLWYDD.

31 A'r brenhin a safodd yn [k] ei le, ac a wnaeth gyfammod ger bron yr ARGLWYDD, ar rodio ar ol yr ARGLWYDD, ac ar gadw ei orchymynion ef, a'i dystiolaethau, a'i ddeddfau, â'i holl galon, ac â'i holl enaid; i gwblhâu geiriau 'r cyfammod y *rhai sydd* ysgrifenedig yn y llyfr hwnnw.

k 2 Bren. 11. 14. a 23. 3. Pen. 6. 13.

32 Ac efe a wnaeth i bawb a'r a gafwyd yn Jerusalem, ac yn Benjamin, sefyll *wrth yr ammod:* trigolion Jerusalem hefyd a wnaethant yn ol cyfammod DUW, *sef* DUW eu tadau.

33 Felly Josïah a dynnodd ymaith y ffieidd-dra i gŷd o'r holl wledydd y rhai *oedd* eiddo meibion Israel, ac efe a wnaeth i bawb a'r a gafwyd yn Israel wasanaethu, *sef* gwasanaethu 'r ARGLWYDD eu DUW. *Ac yn* ei holl ddyddiau ef ni throisant hwy oddi ar ol ARGLWYDD DDUW eu tadau.

## PEN. XXXV.

1 *Josïah yn cadw Pasg godidog,* 20 *yn annog Pharaoh-necho, ac yn cael ei ladd ym Megido.* 25 *Galarnad Josïah.*

A [a] Josïah a gynhaliodd Basg i'r ARGLWYDD yn Jerusalem: a hwy a laddasant y Pasg [b] y pedwerydd *dydd* ar ddeg o'r mis cyntaf.

Cylch 623.
a 2 Bren. 23. 21, 22.
b Exod. 12. 6.

2 Ac efe a gyfleodd yr offeiriaid yn eu goruchwyliaethau, ac a'u hannogodd hwynt i weinidogaeth tŷ 'r ARGLWYDD;

3 Ac a ddywedodd wrth y Lefiaid, y rhai oedd yn dysgu holl Israel, ac oedd sanctaidd i'r ARGLWYDD, Rhoddwch yr arch sanctaidd yn y tŷ a adeiladodd Salomon mab Dafydd brenhin Israel; [c] na *fydded hi* *mwyach* i chwi yn faich ar ysgwydd: gwasanaethwch yn awr yr ARGLWYDD eich DUW, a'i bobl Israel,

c 1 Chron. 23. 26.

4 Ac ymbarottôwch wrth [d] deuluoedd eich tadau, yn ol eich dosparthiadau, yn ol [e] ysgrifen Dafydd brenhin Israel, ac yn ol [f] ysgrifen Salomon ei fab ef.

d 1 Chron. 9. 10.
e 1 Chron. 23, a 24, a 25, a 26.
f Pen. 8. 14.

5 A sefwch yn y cyssegr yn ol dosparthiadau † tylwyth tadau eich brodyr ‡ y bobl, ac *yn ol* dosparthiad tylwyth y Lefiaid.

† Heb. *tŷ.*
‡ Heb. *meibion y bobl.*

6 Felly lleddwch y Pasg, ac [g] ymsancteiddiwch, a pharottôwch eich brodyr, i wneuthur yn ol gair yr ARGLWYDD trwy law Moses.

g Pen. 29. 5, 15. a 30. 3, 15.

7 A Josïah [h] a § roddodd i'r bobl ddïadell o ŵyn, a mynnod, i gŷd tu ag at y Pasg-aberthau, *sef* i bawb a'r a gafwyd, hyd rifedi deng mil ar hugain, a thair mil o eidionau; hyn *oedd* o gyfoeth y brenhin.

Ezra 6. 20.
h Pen. 30. 24.
§ Neu, *offrymmodd.* Heb. *ddyrchafodd.*

8 A'i dywysogion ef a || roddasant yn ewyllysgar i'r bobl, i'r offeiriaid, ac i'r Lefiaid: Hilcïah, a Zecharïah, a Jehïel, blaenoriaid tŷ DDUW, a roddasant i'r offeiriaid tu ag at y Pasg-aberthau, ddwy fil a chwe chant *o ddefaid*, a thri chant o eidionau.

|| Neu, *offrymmasant.* Heb. *ddyrchafasant.*

9 Cononïah hefyd, a Semaiah, a Nethaneel, ei frodyr, a Hasabïah, a Jehïel, a Jozabad, tywysogion y Lefiaid, a † roddasant i'r Lefiaid yn Basg-ebyrth, bûm mil *o ddefaid*, a thri chant o eidionau.

† Megis adn. 7, 8.

10 Felly y parottowyd y gwasanaeth; a'r offeiriaid a safasant yn eu lle, a'r Lefiaid yn eu dosparthiadau, yn ol gorchymyn y brenhin.

11 A hwy a laddasant y Pasg; a'r offeiriaid a daenellasant *y gwaed* o'u llaw hwynt, a'r Lefiaid [i] oedd yn eu blingo *hwynt.*

i Edrych Pen. 29. 34.

12 A chymmerasant ymaith y poethoffrymmau, i'w rhoddi yn ol dosparthiadau teuluoedd y bobl, i offrymmu i'r ARGLWYDD, fel *y mae* yn ysgrifenedig [k] yn llyfr Moses: ac felly am yr eidionau.

k Lef. 3. 3.

13 A hwy [l] a rostiasant y Pasg wrth dân, yn ol y ddefod: a'r cyssegredig *bethau eraill* a ferwasant hwy mewn crochanau, ac mewn

l Exod. 12. 8, 9.

pedyll, ac mewn peiriau, ac a'u rhannasant
ar redeg i'r holl bobl.
14 Wedi hynny y parottoisant iddynt eu
hunain, ac i'r offeiriaid; canys yr offei-
riaid meibion Aaron *oedd* yn offrymmu y
poeth-offrymmau a'r brasder hyd y nos;
am hynny y Lefiaid oedd yn parottôi idd-
ynt eu hunain, ac i'r offeiriaid meibion Aaron.
15 A meibion Asaph y cantorion *oedd* yn
[m] 1 Chron. 25. 1, &c. eu sefyllfa, yn ol [m] gorchymyn Dafydd, ac
Asaph, a Heman, a Jeduthun gweledydd y
[n] 1 Chron. 9. 17, 18. a 26. 14, &c. brenhin; [n] a'r porthorion ym mhob porth:
ni chaent hwy ymado o'u gwasanaeth; canys
eu brodyr y Lefiaid a barottoent iddynt hwy.
16 Felly y parottowyd holl wasanaeth yr
ARGLWYDD y dwthwn hwnnw, i gynnal
y Pasg, ac i offrymmu poeth-offrymmau
ar allor yr ARGLWYDD, yn ol gorchymyn
y brenhin Josiah.
17 A meibion Israel y rhai a gafwyd, a
gynhaliasant y Pasg yr amser hwnnw, a
gwyl y bara croyw, saith niwrnod.
[o] 2 Bren. 23. 22. 18 Ac [o] ni chynhaliasid Pasg fel hwnnw
yn Israel, er dyddiau Samuel y prophwyd:
ac ni chynhaliodd neb o frenhinoedd Israel
gyffelyb i'r Pasg a gynhaliodd Josïah, a'r
offeiriaid, a'r Lefiaid, a holl Judah, a'r neb
a gafwyd o Israel, a thrigolion Jerusalem.
19 Yn y ddeunawfed flwyddyn o deyrn-
asiad Josïah y cynhaliwyd y Pasg hwn.
610. 20 ¶ [p] Wedi hyn oll, pan barottoisai
[p] 2 Bren. 23. 29. Jer. 46. 2. Josïah y † tŷ, Necho brenhin yr Aipht a
ddaeth i fynu i ryfela yn erbyn Charcemis
† Sef, *y deml.* wrth Euphrates: a Josïah a aeth allan yn
ei erbyn ef.
21 Yntau a anfonodd genhadau atto ef,
gan ddywedyd, Beth *sydd* i mi *a wnelwyf*
â thi, O frenhin Judah? nid yn dy erbyn di
*y daethum* i heddyw, ond yn erbyn tŷ *arall*
*y mae* fy rhyfel i; a Duw a archodd i mi
frysio: paid di â Duw, yr hwn *sydd* gyd
â mi, fel na ddifetho efe dydi.
22 Ond ni throai Josïah ei wyneb oddi
[q] Felly 1 Bren. 22. 30. wrtho ef, eithr [q] newidiodd ei ddillad i
ymladd yn ei erbyn ef, ac ni wrandawodd
ar eiriau Necho o enau Duw, ond efe a
ddaeth i ymladd i ddyffryn Megido.
23 A'r saethyddion a saethasant at y
brenhin Josïah: a'r brenhin a ddywedodd
wrth ei weision, Dygwch fi ymaith, canys
clwyfwyd fi yn dost.
24 Felly ei weision a'i tynnasant ef o'r
cerbyd, ac a'i gosodasant ef yn yr ail cerbyd
yr hwn *oedd* ganddo; dygasant ef hefyd i
Jerusalem, ac efe fu farw, ac a gladdwyd
‡ Neu, *mysg beddau,* yn ‡ meddrod ei dadau. A [r] holl Judah a
Jerusalem a alarasant am Josïah.
[r] Zech. 12. 11. 25 ¶ Jeremi hefyd a alarnadodd am Jo-
sïah, a'r [s] holl gantorion a'r cantoresau yn
[s] Edrych Mat. 9. 23. eu galarnadau a soniant am Josïah hyd
heddyw, a hwy a'i gwnaethant yn ddefod
yn Israel; ac wele hwynt yn ysgrifenedig
yn y galarnadau.
26 A'r rhan arall o hanes Josïah, a'i
§ Heb. *garedig-rwydd.* § ddaioni ef, yn ol *yr hyn oedd* ysgrifen-
edig ynghyfraith yr ARGLWYDD,
27 A'i weithredoedd ef, cyntaf a diwedd-
af, wele hwynt yn ysgrifenedig yn llyfr
brenhinoedd Israel a Judah.

## PEN. XXXVI.

1 *Joahaz yn frenhin ar ol Josïah; a Pharaoh yn ei ddiswyddo ef, ac yn ei ddwyn i'r Aipht.* 5 *Joacim yn teyrnasu yn ddrygionus, a'i ddwyn ef yn rhwym i Babilon.* 9 *Joachin yn teyrnasu yn ddrygionus, a'i ddwyn yntau i Babilon.* 11 *Sedecïah y brenhin drygionus, yn dirmygu'r prophwydi, ac yn gwrthryfela yn erbyn Nebuchodonosor.* 14 *Llwyr-ddinystr Jerusalem am bechodau'r offeiriaid a'r bobl.* 22 *Cyrus yn cyhoeddi yr adeiladid y deml.*

YNA [a] pobl y wlad a gymmerasant Joa- 610.
haz fab Josïah, ac a'i hurddasant ef yn [a] 2 Bren. 23. 30, &c.
frenhin yn lle ei dad yn Jerusalem.
2 Mab tair blwydd ar hugain *oedd* Joa-
haz pan ddechreuodd efe deyrnasu; a thri
mis y teyrnasodd efe yn Jerusalem.
3 A brenhin yr Aipht a'i † diswyddodd † Heb. *symmud-odd.*
ef yn Jerusalem; ac a drethodd ar y wlad
gan talent o arian, a thalent o aur.
4 A brenhin yr Aipht a wnaeth Elïacim
ei frawd ef yn frenhin ar Judah a Jerusalem,
ac a drodd ei enw ef yn Joacim. A Necho
a gymmerodd Joahaz ei frawd ef, ac a'i
dug i'r Aipht.
5 ¶ Mab pum mlwydd ar hugain *oedd* 610.
Joacim pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac
un mlynedd ar ddeg y teyrnasodd efe yn
Jerusalem: ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg yngolwg yr ARGLWYDD ei DDUW.
6 [b] Nebuchodonosor brenhin Babilon a 607.
ddaeth i fynu yn ei erbyn ef, ac a'i rhwym- [b] 2 Bren. 24. 1.
odd ef mewn ‡ cadwynau pres, [c] i'w ddwyn 606.
i Babilon. ‡ Neu, *llyffetheirau.*
7 [d] Nebuchodonosor hefyd a ddug o lestri
tŷ'r ARGLWYDD i Babilon, ac a'u rhoddodd
hwynt yn ei deml o fewn Babilon. [c] Edrych 2 Bren. 24. 6.
8 A'r rhan arall o hanes Joacim, a'i
ffieidd-dra ef y rhai a wnaeth efe, a'r hyn Jer. 22. 18, 19. a 36. 30.
a gafwyd arno ef, wele hwynt yn ysgrifen-
edig yn llyfr brenhinoedd Israel a Judah. [d] 2 Bren. 24. 13.
A § Joachin ei fab a deyrnasodd yn ei Dan. 1. 1, 2.
le ef.
9 ¶ [e] Mab wyth mlwydd *oedd* Joachin 599.
pan ddechreuodd efe deyrnasu, a thri mis § Neu, *Jehoiachin,* 1 Chron. 3. 16.
a deng niwrnod y teyrnasodd efe yn Jerusa-
lem; ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD. neu, *Coniah,* Jer. 22. 24.
10 Ac ‖ ym mhen y flwyddyn [f] yr an-
fonodd y brenhin Nebuchodonosor, ac a'i [e] 2 Bren. 24. 8.
dug ef i Babilon, gyd â llestri dymunol tŷ'r
ARGLWYDD: ac efe a wnaeth † [g] Sede- ‖ Heb. *yn nychweliad.*
cïah ei frawd ef yn frenhin ar Judah a Je-
rusalem. [f] Dan. 1. 1, 2.
11 ¶ [h] Mab un mlwydd ar hugain *oedd*
Sedecïah pan ddechreuodd efe deyrnasu, ac † Neu, *Mattaniah,* 2 Bren. 24. 17.
un mlynedd ar ddeg y teyrnasodd efe yn
Jerusalem.
12 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd* ddrwg
yngolwg yr ARGLWYDD ei DDUW, *ac* [g] Jer. 37. 1.
nid ymostyngodd efe o flaen Jeremi y [h] 2 Bren. 24. 18. Jer. 52. 1, &c.
prophwyd, *yr hwn oedd yn llefaru* o enau'r
ARGLWYDD.
13 Ond [i] efe a wrthryfelodd yn erbyn bren- 593.
hin Nebuchodonosor, yr hwn a wnaethai [i] Ezec. 17. 15, 18.
iddo dyngu i DDUW: ond efe a galedodd
ei warr, ac a gryfhaodd ei galon, rhag
dychwelyd at ARGLWYDD DDUW Israel.
14 ¶ Holl dywysogion yr offeiriaid hefyd,
a'r bobl, a chwanegasant gam-fucheddu,
yn ol holl ffieidd-dra'r cenhedloedd; a
hwy a halogasant dŷ'r ARGLWYDD, yr
hwn a sancteiddiasai efe yn Jerusalem.
15 [k] Am hynny ARGLWYDD DDUW eu [k] Jer. 25. 3, 4. a 35. 15.
tadau a anfonodd attynt hwy trwy law ei
genhadau, gan fore-godi, ac anfon: am
ei fod ef yn tosturio wrth ei bobl, ac
wrth ei breswylfod.
16 Ond [l] yr oeddynt hwy yn gwatwar [l] Jer. 5. 12, 13.
cenhadau Duw, ac yn tremygu ei eiriau
ef, ac yn gwawdio ei brophwydi ef; nes

cyfodi o ddigofaint yr ARGLWYDD *yn* er-
byn ei bobl, fel nad *oedd* iachâd.
590. 17 [m] Am hynny efe a ddygodd i fynu
m 2 Bren. 25. 1, &c. arnynt hwy frenhin y Caldeaid, yr hwn a
laddodd eu gwŷr ieuaingc hwy â'r cleddyf
588. yn nhŷ eu cyssegr, ac nid arbedodd na gwr
ieuangc na morwyn, na hen, na'r hwn
oedd yn cammu gan oedran: efe a'u rhodd-
odd *hwynt* oll yn ei law ef.
18 Holl lestri tŷ DDUW hefyd, mawrion
a bychain, a thrysorau tŷ'r ARGLWYDD,
588. a thrysorau'r brenhin a'i dywysogion: y
rhai hynny oll a ddug efe i Babilon.
19 A hwy a losgasant dŷ DDUW, ac a
ddistrywiasant fur Jerusalem; a'i holl balas-
au hi a losgasant hwy â thân, a'i holl lestri
dymunol a ddinystriasant.
† Heb. *A gweddill y cleddyf.* 20 † A'r rhai a ddïangasai gan y cleddyf, a
*gaeth*-gludodd efe i Babilon: lle y buant
hwy yn weision iddo ef ac i'w feibion, nes
teyrnasu o'r Persiaid:

21 I gyflawni gair yr ARGLWYDD trwy n Jer. 25. 9, 12. a 26. 6. 7. a 29. 10.
enau [n] Jeremi, nes [o] mwynhâu o'r wlad ei
Sabbothau; *canys* yr holl ddyddiau *y bu hi* o Lef. 26. 34, 35, 43.
yn anghyfannedd, y gorphwysodd hi, i
gyflawni deng mlynedd a thrugain. 536.
22 ¶ Ac [p] yn y flwyddyn gyntaf i Cyrus p Ezra 1. 1.
brenhin Persia (fel y cyflawnid gair yr
ARGLWYDD *yr hwn a ddywedwyd* trwy
enau [q] Jeremi) yr ARGLWYDD a gy- q Jer. 25. 12, 13. a 29. 10.
ffrôdd yspryd Cyrus brenhin Persia, fel y
cyhoeddodd efe trwy ei holl frenhin-
iaeth, a hynny mewn ysgrifen, gan ddy-
wedyd,
23 Fel hyn y dywed Cyrus brenhin Persia,
ARGLWYDD DDUW'r nefoedd a roddodd
holl deyrnasoedd y ddaear i mi, ac efe a
orchymynodd i mi adeiladu tŷ iddo yn
Jerusalem, yr hon *sydd* yn Judah. Pwy
*sydd* yn eich mysg chwi o'i holl bobl ef?
yr ARGLWYDD ei DDUW *fyddo* gyd ag ef,
ac eled i fynu.

# ¶ LLYFR EZRA.

## PEN. I.

Mai 22. B. 1 *Cyrus yn gorchymyn adeiladu'r deml.* 5 *Y bobl yn ymbarottôi i ddychwelyd yn eu hol.* 7 *Cyrus yn rhoi yn ol lestri y deml i Sesbassar.*

Cyn Crist cylch 536.
YN [a] y flwyddyn gyntaf i Cyrus bren-
hin Persia (i gyflawni gair yr AR-
GLWYDD o enau Jeremi) y cyffrôdd yr AR-
GLWYDD yspryd Cyrus brenhin Persia,
a 2 Chron. 36. 22. fel y † cyhoeddodd efe trwy ei holl deyr-
† Heb. *gwnaeth i lef dramwy.* nas, a *hynny* hefyd mewn ysgrifen, gan
ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed Cyrus brenhin Persia,
ARGLWYDD DDUW'r nefoedd a roddes i
b Esay 44. 28. a 45. 1, 13. mi holl deyrnasoedd y ddaear, ac efe [b] a
orchymynodd i mi adeiladu iddo ef dŷ yn
Jerusalem, yr hon *sydd* yn Judah.
3 Pwy *sydd* o honoch o'i holl bobl ef?
bydded ei DDUW gyd ag ef, ac eled i fynu
i Jerusalem, yr hon *sydd* yn Judah, ac
adeiladed dŷ ARGLWYDD DDUW Is-
rael (dyna'r DUW) yr hwn *sydd* yn Jeru-
salem.
4 A phwy bynnag a adawyd mewn un
‡ Heb. *cyfoded, neu, cynhalied.* man lle y mae efe yn ymdeithio, ‡ cyn-
northwyed gwŷr ei wlad ef ag arian, ac ag
aur, ac â golud, ac ag anifeiliaid, gyd ag
cwyllysgar offrwm tŷ DDUW yr hwn *sydd*
yn Jerusalem.
5 ¶ Yna y cododd pennau cenedl Judah a
Benjamin, a'r offeiriaid a'r Lefiaid, a phob
un y cyffrôdd DUW ei yspryd, i fyned i fynu
i adeiladu tŷ'r ARGLWYDD yr hwn *oedd* yn
Jerusalem.
§ Heb. *cryfhasant eu dwylaw hwy â, &c.* 6 A'r rhai oll o'u hamgylch a'u § cyn-
northwyasant hwy â llestri arian, ac aur,
â golud, ac ag anifeiliaid, ac â phethau
gwerthfawr, heb law'r hyn oll a offrym-
mwyd yn ewyllysgar.
7 ¶ A'r brenhin Cyrus a ddug allan
c 2 Bren. 24. 13. 2 Chron. 36. 7. lestri tŷ'r ARGLWYDD, [c] y rhai a ddy-
gasai Nebuchodonosor allan o Jerusalem, ac
a roddasai efe yn nhŷ ei dduwiau ei hun.
8 Y rhai hynny a ddug Cyrus brenhin
Persia allan trwy law Mithredath y try-
d Edrych Pen. 5. 14. sorydd, ac a'u rhifodd hwynt at [d] Sesbassar
pennaeth Judah.
9 A dyma eu rhifedi hwynt; Deg ar hu-
gain o gawgiau aur, mil o gawgiau arian,
naw ar hugain o gyllill,
10 Deg ar hugain o orflychau aur, deg a
phedwar cant o ail *fath* o orflychau arian, a
mil o lestri eraill.
11 Yr holl lestri, yn aur ac yn arian, *oedd*
bûm mil a phedwar cant. Y rhai hyn oll a
ddug Sesbassar i fynu gyd â'r ‖ gaeth-glud ‖ Heb. *trosglwyddiad.*
a ddygwyd i fynu o Babilon i Jerusalem.

## PEN. II.

1 *Rhifedi'r bobl a ddychwelodd,* 36 *a'r offeiriaid,* 40 *a'r Lefiaid,* 43 *a'r Nethiniaid,* 55 *a gweision Salomon,* 62 *a'r offeiriaid ni fedrent ddangos eu hachau.* 64 *Rhifedi'r cwbl, a'u golud.* 68 *Eu hoffrymmau.*

A [a] Dyma feibion y dalaith y rhai a Cylch 536.
ddaeth i fynu o gaethiwed y gaeth-
a Neh. 7. 6, &c. glud, yr hon a gaeth-gludasai Nebuchodo-
nosor brenhin Babilon i Babilon, ac a ddy-
chwelasant i Jerusalem a Judah, pob un i'w
ddinas ei hun;
2 Y rhai a ddaeth gyd â Zorobabel: Je-
sua, Nehemïah, † Seraiah, Reelaiah, Morde- † Neu, *Azariah,* Neh. 7. 7.
chai, Bilsan, Mispar, Bigfai, Rehum, Baanah.
Rhifedi gwŷr pobl Israel.
3 Meibion Paros, dwy fil *a* deuddeg ac
wyth ugain.
4 Meibion Sephatïah, tri chant *a* deuddeg
a thri ugain.
5 Meibion Arah, [b] saith gant a phymtheg b Edrych Neh. 7. 10.
a thrugain.
6 Meibion [c] Pahath-moab, o feibion Je- c Neh. 7. 11.
sua *a* Joab, dwy fil wyth gant a deuddeg.
7 Meibion Elam, mil dau cant *a* phedwar
ar ddeg a deugain.
8 Meibion Zattu, naw cant a phump a
deugain.
9 Meibion Zaccai, saith gant a thri ugain.
10 Meibion ‡ Bani, chwe chant a dau a ‡ Neu, *Binnui,* Neh. 7. 15.
deugain.
11 Meibion Bebai, chwe chant a thri ar
hugain.
12 Meibion Azgad, mil dau cant a dau ar
hugain.
13 Meibion Adonicam, chwe chant a
chwech a thrugain.
14 Meibion Bigfai, dwy fil ac onid ped-
war, trugain.
15 Meibion Adin, pedwar cant a phedwar
ar ddeg a deugain.
16 Meibion Ater o Hezecïah, onid dau
pum ugain.

17 Meibion Besai, tri chant a thri ar hugain.

18 Meibion † Jorah, cant a deuddeg.

† Neu, *Hariph*, Neh. 7. 24.

19 Meibion Hasum, dau cant a thri ar hugain.

20 Meibion ‡ Gibbar, pymtheg a phedwar ugain.

‡ Neu, *Gibeon*, Neh. 7. 25.

21 Meibion Bethlehem, cant a thri ar hugain.

22 Gwŷr Netophah, onid pedwar trugain.

23 Gwŷr Anathoth, cant ac wyth ar hugain.

24 Meibion § Azmafeth, dau a deugain.

§ Neu, *Beth-azmafeth*, Neh. 7. 28.

25 Meibion Ciriath-arim, Cephirah, a Beeroth, saith gant a thri a deugain.

26 Meibion Ramah a Gaba, chwe chant ac un ar hugain.

27 Gwŷr Michmas, cant a dau ar hugain.

28 Gwŷr Bethel ac Ai, dau cant a thri ar hugain.

29 Meibion Nebo, deuddeg a deugain.

30 Meibion Magbis, cant ac onid pedwar tri ugain.

31 Meibion [d] Elam arall, mil dau cant a phedwar ar ddeg a deugain.

[d] Edrych adn. 7.

32 Meibion Harim, tri chant ac ugain.

33 Meibion Lod, ‖ Hadid, ac Ono, saith gant a phump ar hugain.

‖ Neu, *Harid*.

34 Meibion Jericho, tri chant a phump a deugain.

35 Meibion Senaah, tair mil a chwe chant a deg ar hugain.

36 ¶ Yr offeiriaid: meibion [e] Jedaiah, o dŷ Jesua, naw cant deg a thri ugain a thri.

[e] 1 Chron. 24. 7.

37 Meibion [f] Immer, mil a deuddeg a deugain.

[f] 1 Chron. 24. 14.

38 Meibion [g] Pasur, mil dau cant a saith a deugain.

[g] 1 Chron. 9. 12.

39 Meibion [h] Harim, mil a dau ar bymtheg.

[h] 1 Chron. 24. 8.

40 ¶ Y Lefiaid: meibion Jesua a Chadmiel, o feibion † Hodafiah, pedwar ar ddeg a thrugain.

† Neu, *Judah*, Pen. 3. 9. neu, *Hodefah*, Neh. 7. 43.

41 ¶ Y cantoriaid: meibion Asaph, cant ac wyth ar hugain.

42 ¶ Meibion y porthorion: *sef* meibion Sâlum, meibion Ater, meibion Talmon, meibion Accub, meibion Hatita, meibion Sobai, *oedd* oll gant ac onid un deugain.

43 ¶ Y [i] Nethiniaid: meibion Siha, meibion Hasupha, meibion Tabbaoth,

[i] 1 Chron. 9. 2.

44 Meibion Ceros, meibion Siaha, meibion Padon,

45 Meibion Lebanah, meibion Hagabah, meibion Accub,

46 Meibion Hagab, meibion ‡ Samlai, meibion Hanan,

‡ Neu, *Salmai*.

47 Meibion Gidel, meibion Gahar, meibion Reaiah,

48 Meibion Resin, meibion Necoda, meibion Gazzam,

49 Meibion Uzza, meibion Paseah, meibion Besai,

50 Meibion Asnah, meibion Mehunim, meibion Nephusim,

51 Meibion Bacbuc, meibion Hacupha, meibion Harhur,

52 Meibion § Basluth, meibion Mehida, meibion Harsa,

§ Neu, *Bazlith*, Neh. 7. 54.

53 Meibion Barcos, meibion Sisera, meibion Thamah,

54 Meibion Nesïah, meibion Hatipha.

55 ¶ Meibion [k] gweision Salomon: meibion Sotai, meibion Sophereth, meibion ‖ Pheruda,

[k] 1 Bren. 9. 21. ‖ Neu, *Perida*, Neh. 7. 57.

56 Meibion Jaalah, meibion Darcon, meibion Gidel,

57 Meibion Sephatïah, meibion Hattil, meibion Pochereth o Sebaim, meibion † Ami.

† Neu, *Amon*, Neh. 7. 59.

58 Yr holl [l] Nethiniaid, a meibion [m] gweision Salomon, *oedd* dri chant deuddeg a phedwar ugain.

[l] Jos. 9. 21, 27. 1 Chron. 9. 2. [m] 1 Bren. 9. 21.

59 A'r rhai hyn a aethant i fynu o Tel-melah, Tel-harsa, Cerub, ‡ Adan, *ac* Immer: ond ni fedrent ddangos tŷ eu tadau, na'u hiliogaeth, ai o Israel *yr oeddynt*:

‡ Neu, *Addon*, Neh. 7. 61.

60 Meibion Delaiah, meibion Tobïah, meibion Necoda, chwe chant a deuddeg a deugain.

61 ¶ A meibion yr offeiriaid: meibion Habaiah, meibion Cos, meibion Barzilai; (yr hwn a gymmerasai wraig o ferched [n] Barzilai y Gileadiad, ac a alwasid ar eu henw hwynt.)

[n] 2 Sam. 17. 27.

62 Y rhai hyn a geisiasant eu hysgrifen *ym mhlith* yr achau, ond ni chafwyd hwynt: am hynny § y bwriwyd hwynt allan o'r offeiriadaeth.

§ Heb. *yr halogwyd*.

63 A'r ‖ Tirsatha a ddywedodd wrthynt, na fwyttâent o'r pethau sancteiddiaf, hyd oni chyfodai offeiriad ag [o] Urim ac â Thummim.

‖ Neu, *Llywydd*. Edrych Neh. 8. 9. [o] Exod. 28. 30. Num. 27. 21.

64 ¶ Yr holl dyrfa ynghŷd, *oedd* ddwy fil a deugain tri chant *a* thri ugain:

65 Heb law eu gweision a'u morwynion; y rhai hynny *oedd* saith mil tri chant a dau ar bymtheg ar hugain: ac yn eu mysg *yr oedd* dau cant yn gantorion ac yn gantoresau.

66 Eu meirch *oedd* saith gant ac onid pedwar deugain; eu mulod yn ddau cant ac yn bump a deugain;

67 Eu camelod yn bedwar cant ac yn bymtheg ar hugain; *eu* hasynod yn chwe mil saith gant ac ugain.

68 ¶ Ac o'r pennau cenedl pan ddaethant i dŷ'r Arglwydd, yr hwn *oedd* yn Jerusalem, *rhai* a offrymmasant o'u gwaith eu hun tu ag at dŷ'r Arglwydd, i'w gyfodi yn ei le.

69 Rhoddasant yn ol eu gallu i [p] drysordy'r gwaith, un fil a thri ugain o ddracmonau aur, a phum mil o bunnoedd o arian, a chant o wisgoedd offeiriaid.

[p] 1 Chron. 26. 20.

70 Yna'r offeiriaid a'r Lefiaid, a *rhai* o'r bobl, a'r cantorion, a'r porthorion, a'r Nethiniaid, a drigasant yn eu dinasoedd; a holl Israel yn eu dinasoedd.

## PEN. III.

1 *Gosod i fynu yr allor.* 4 *Amled yr offrymmau.* 7 *Parottoi gweithwŷr.* 8 *Gosod sylfeini'r deml gyd â llawenydd mawr a galar.*

Mai 22. P.

A Phan ddaeth y seithfed mis, a meibion Israel yn eu dinasoedd, y bobl a ymgasglasant i Jerusalem megis un gwr.

Cylch 536.

2 Yna y cyfododd † Jesua mab Josadac, a'i frodyr yr offeiriaid, a [a] Zorobabel mab Salathiel, a'i frodyr, ac a adeiladasant allor Duw Israel, i offrymmu arni offrymmau poeth, fel [b] yr ysgrifenasid ynghyfraith Moses gwr Duw.

† Neu, *Josua*, Hag. 1. 1. Zech. 3. 1. [a] Mat. 1. 12. Luc 3. 27. [b] Deut. 12. 5.

3 A hwy a osodasant yr allor ar ei hystolion (canys *yr oedd* arnynt ofn pobl y wlad) ac a offrymmasant arni boeth-offrymmau i'r Arglwydd, [c] poeth-offrymmau bore a hwyr.

[c] Num. 28. 3, 4.

4 Cadwasant hefyd wyl y pebyll, [d] fel y *mae* yn ysgrifenedig, ac [e] *a offrymmasant* boeth-aberth beunydd dan rifedi, yn ol y ddefod, dogn dydd yn ei ddydd;

[d] Exod. 23. 16. [e] Num. 29. 12, &c.

5 Ac wedi hynny y poeth-offrwm gwastadol, ac *offrwm* y newydd-loerau, a holl sanctaidd osodedig wyliau'r ARGLWYDD, offrwm ewyllysgar pob un a offrymmai o honoei hun, *a offrymmasant* i'r ARGLWYDD.

6 O'r dydd cyntaf i'r seithfed mis y dechreuasant offrymmu poeth-offrymmau i'r ARGLWYDD. Ond teml yr ARGLWYDD ni sylfaenasid *etto*.

f Act. 9. 36.
7 Rhoddasant hefyd arian i'r seiri maen, ac i'r seiri pren; a bwyd, a diod, ac olew, i'r Sidoniaid, ac i'r Tyriaid, am ddwyn coed cedr o Libanus hyd y môr i [f] Joppa: yn ol caniattâd Cyrus brenhin Persia iddynt hwy.

535.
8 ¶ Ac yn yr ail flwyddyn wedi eu dyfod hwy i dŷ DDUW i Jerusalem, yn yr ail mis, y dechreuodd Zorobabel mab Salathiel, a Jesua mab Josadac, a'r rhan arall o'u brodyr hwynt yr offeiriaid a'r Lefiaid, a'r rhai oll a ddaethai o'r caethiwed i Jerusalem; ac a osodasant y Lefiaid, o fab ugein-mlwydd ac uchod, yn olygwŷr ar waith tŷ'r ARGLWYDD.

† Neu, *Hodafiah*, Pen. 2. 40.
9 Yna y safodd Jesua, a'i feibion a'i frodyr, Cadmiel a'i feibion, meibion † Judah yn gyttûn, i oruchwylio ar weithwŷr y gwaith yn nhŷ DDUW: meibion Henadad, â'u meibion hwythau a'u brodyr y Lefiaid.

g 1 Chron. 6. 31. a 16. 7. a 25. 1.
10 A phan oedd y seiri yn sylfaenu teml yr ARGLWYDD, hwy a osodasant yr offeiriaid yn eu gwisgoedd ag udgyrn, a'r Lefiaid meibion Asaph â symbalau, i foliannu'r ARGLWYDD, yn ol [g] ordinhâd Dafydd brenhin Israel.

h Exod. 15. 21. 2 Chron. 7. 3.
i 1 Chron. 16. 41. Jer. 33. 11.
11 A [h] hwy a gyd-ganasant, wrth foliannu ac wrth glodfori'r ARGLWYDD, mai da *oedd*, [i] mai yn dragywydd *yr ydoedd* ei drugaredd ef ar Israel. A'r holl bobl a floeddiasant â bloedd fawr, gan foliannu'r ARGLWYDD, am sylfaenu tŷ'r ARGLWYDD.

k Edrych Hag. 2. 3.
12 Ond llawer o'r offeiriaid a'r Lefiaid, a'r pennau cenedl, *y rhai oedd* hen, ac a welsent y tŷ cyntaf, [k] wrth sylfaenu'r tŷ hwn yn eu golwg, a wylasant â llef uchel; a llawer oedd yn dyrchafu llef mewn bloedd gorfoledd:

13 Fel nad oedd y bobl yn adnabod sain bloedd y llawenydd oddi wrth sain wylofain y bobl: canys y bobl oedd yn bloeddio â bloedd fawr, a'r swn a glywid ym mhell.

## PEN. IV.

Mai 23. B.
1 *Gwrthwynebwŷr Judah, am na chynhwysid iddynt adeiladu'r deml gyd â'r Iuddewon, yn ceisio llestair ei hadeiladu hi.* 7 *Eu llythyrau hwy at Artaxerxes.* 17 *Gorchymyn Artaxerxes.* 23 *Rhwystro adeiladu'r deml.*

535.
a Edrych adn. 7, 8, 9.
YNA [a] gwrthwynebwŷr Judah a Benjamin a glywsant fod meibion y gaethglud yn adeiladu'r deml i ARGLWYDD DDUW Israel;

2 Ac a ddaethant at Zorobabel, ac at y pennau cenedl, ac a ddywedasant wrthynt, Adeiladwn gyd â chwi: canys fel chwithau y ceisiwn eich DUW chwi; ac iddo ef yr ydym ni yn aberthu, er dyddiau [b] Esarhadon brenhin Assyria, yr hwn a'n dug ni i fynu yma.

Cylch 678.
b 2 Bren. 17. 24 a 19. 37.
c Neh. 2. 20.
3 Eithr dywedodd Zorobabel a Jesua, a'r rhan arall o bennau cenedl Israel, wrthynt, [c] Nid *yw* i chwi ac i ninnau adeiladu tŷ i'n DUW ni; eithr nyni a gyd-adeiladwn i ARGLWYDD DDUW Israel, megis y'n gorchymynodd [d] y brenhin Cyrus, brenhin Persia.

d Pen. 1. 1, 2, 3.
e Pen. 3. 3.
4 [e] A phobl y wlad oedd yn anghysuro pobl Judah, ac yn eu rhwystro hwy i adeiladu,

534.
5 Ac yn cyflogi cynghorwŷr yn eu herbyn hwynt, i ddiddymmu eu cyngor hwynt, holl ddyddiau Cyrus brenhin Persia, a hyd deyrnasiad Darius brenhin Persia.

529.
6 Ac yn nheyrnasiad Ahasferus, yn nechreuad ei deyrnasiad ef, yr ysgrifenasant atto achwyn yn erbyn trigolion Judah a Jerusalem.

522.
† Neu, *mewn heddwch.*
‡ Heb. *cyfeillach.*
7 ¶ Ac yn nyddiau Artaxerxes yr ysgrifenodd † Bislam, Mithridath, Tabeel, a'r rhan arall o'u ‡ cyfeillion, at Artaxerxes brenhin Persia; ac ysgrifen y llythyr a 'sgrifenwyd yn Syriaeg, ac a eglurwyd yn Syriaeg.

8 Rehum y cofiadur a Simsai yr ysgrifenydd a 'sgrifenasant lythyr yn erbyn Jerusalem at Artaxerxes y brenhin, fel hyn:

§ Cald. *cyfeillach.*
9 Yna *yr ysgrifenodd* Rehum y cofiadur, a Simsai yr ysgrifenydd, a'r rhan arall o'u § cyfeillion, y Dinaiaid, yr Apharsathchiaid, y Tarpeliaid, yr Apharsiaid, yr Archefiaid, y Babiloniaid, y Susanchiaid, y Dehafiaid, yr Elamiaid,

Cylch 678.
10 A'r rhan arall o'r bobl y rhai a ddug Asnappar mawr ac enwog, ac a osododd efe yn ninasoedd Samaria, a'r rhan arall tu yma i'r afon, ‖ a'r amser a'r amser.

522.
‖ Cald. *Cceneth.* Felly adn. 11, 17. a Pen. 7. 12.
11 ¶ Dyma ystyr y llythyr a anfonasant atto ef, *sef* at Artaxerxes y brenhin; Dy wasanaethwŷr o'r tu yma i'r afon, a'r amser a'r amser.

12 Bid hyspys i'r brenhin, fod yr Iuddewon a ddaethant i fynu oddi wrthyt ti attom ni, wedi dyfod i Jerusalem, *ac* yn adeiladu'r ddinas wrthryfelgar ddrygionus, a'r muriau a sylfaenasant hwy, ac a gyd-wniasant y sylfaenau.

† Neu, *ardreth*, neu, *allu.*
13 Yn awr bydded hyspys i'r brenhin, os adeiledir y ddinas hon, a gorphen ei chaerau, na roddant na tholl, na theyrn-ged, na threth; felly y drygi † drysor y brenhinoedd.

‡ Cald. *ein halltu â halen llys*, &c.
14 Ac yn awr o herwydd ein bod ni yn cael ‡ ein cynhaliaeth o lys *y brenhin*, ac nad oedd weddaidd i ni weled gwarth y brenhin; am hynny 'r anfonasom ac yr hyspysasom i'r brenhin,

15 Fel y ceisier yn llyfr historïau dy dadau: a thi a gei yn llyfr yr historïau, ac a elli wybod, fod y ddinas hon yn ddinas wrthryfelgar, niweidiol i frenhinoedd a thaleithiau, a bod yn gwneuthur brad-fwriad o fewn hon er ys talm: am hynny y dinystriwyd y ddinas hon.

16 Yr ydym yn hyspysu i'r brenhin, os y ddinas hon a adeiledir, a'r muriau a sylfaenir, wrth hynny ni fydd i ti ran o'r tu yma i'r afon.

§ Cald. *cyfeillach.*
17 ¶ *Yna* yr anfonodd y brenhin air at Rehum y cofiadur, a Simsai'r ysgrifenydd, a'r rhan arall o'u § cyfeillion hwynt y rhai a drigent yn Samaria, ac *at* y lleill o'r tu hwnt i'r afon, Tangnefedd, a'r amser a'r amser.

18 Y llythyr a anfonasoch attaf, a ddarllenwyd yn eglur ger fy mron.

19 A mi a osodais orchymyn, a chwiliwyd; a chafwyd fod y ddinas hon er ys talm yn ymddyrchafu yn erbyn brenhinoedd, a gwneuthur ynddi anufudd-dod a gwrth-ryfel.

20 A brenhinoedd cryfion a fu ar Jerusalem, yn llywodraethu ar bawb o'r tu hwnt i'r afon; ac iddynt hwy y rhoddid toll, teyrn-ged, a threth.

21 Yn awr rhoddwch orchymyn, i beri
i'r gwŷr hynny beidio, ac nad adeilader y
ddinas honno, hyd oni roddwyf fi orchymyn
*etto.*
22 A gwyliwch wneuthur yn amryfus yn
hyn: pa ham y tyf niweid i ddrygu'r bren-
hinoedd?
23 ¶ Yna pan ddarllenwyd ystyr llythyr
Artaxerxes y brenhin o flaen Rehum a
Simsai 'r ysgrifenydd, a'u cyfeillion, hwy a
aethant i fynu ar frys i Jerusalem at yr Iu-
ddewon, ac a wnaethant iddynt beidio trwy
fraich a chryfdwr.
24 Yna y peidiodd gwaith tŷ Dduw 'r
hwn *sydd* yn Jerusalem; ac y bu yn sefyll
520. hyd yr ail flwyddyn o deyrnasiad Darius
brenhin Persia.

PEN. V.

Mai 23. P. 1 *Zorobabel a Jesua, wedi eu hannog gan
Haggai a Zechariah, yn rhwyddhau adeil-
adu'r deml. 3 Tatnai a Setharboznai heb
allel rhwystro'r Iuddewon. 6 Eu llythyr
hwy at Ddarius yn erbyn yr Iuddewon.*

520. YNA y prophwydi, [a] Haggai y prophwyd,
a Hag. 1. 1. a [b] Zechariah mab Ido, a brophwydas-
b Zech. 1. 1. ant i'r Iuddewon *oedd* yn Judah ac yn Jeru-
salem; yn enw Duw Israel y prophwydas-
ant iddynt.
2 Yna Zorobabel mab Salathiel, a Jesua
mab Josadac, a godasant, ac a ddechreu-
asant adeiladu tŷ Dduw yr hwn *sydd* yn
Jerusalem: a phrophwydi Duw *oedd* gyd â
hwynt yn eu cynnorthwyo.
3 ¶ Y pryd hynny y daeth attynt hwy
Tatnai tywysog y tu yma i'r afon, a Sethar-
boznai, a'u cyfeillion, ac fel hyn y dywed-
asant wrthynt; Pwy a roddes i chwi orchy-
myn i adeiladu'r tŷ hwn, ac i sylfaenu'r
muriau hyn?
c Adn. 10. 4 [c] Yna fel hyn y dywedasom wrthynt;
Beth yw enwau y gwŷr a adeiladant yr ad-
eiladaeth yma?
d Edrych Pen. 7. 6, 28. 5 A [d] golwg eu Duw oedd ar henuriaid
yr Iuddewon, fel na wnaethant iddynt beid-
io, nes dyfod yr achos at Ddarius: ac yna'r
attebasant *trwy* lythyr am hyn.
519. 6 ¶ Ystyr y llythyr a anfonodd Tatnai
tywysog y tu yma i'r afon, a Setharboz-
nai, a'i gyfeillion yr Apharsachiaid, y rhai
*oedd* o'r tu yma i'r afon, at y brenhin Da-
rius:
7 Anfonasant lythyr atto ef, ac fel hyn
† Cald. *yn ei ganol ef.* yr ysgrifenasid † ynddo; Pob heddwch i'r
brenhin Darius.
8 Bydded hyspys i'r brenhin, fyned o ho-
nom ni i dalaith Judea, i dŷ y Duw mawr,
‡ Cald. *treiglo.* a bod yn ei adeiladu ef â meini ‡ mawr,
a bod yn gosod coed yn ei barwydydd ef;
a bod y gwaith yn myned rhagddo ar
frys, a'i fod yn llwyddo yn eu dwylaw
hwynt.
9 Yna y gofynasom i'r henuriaid hynny,
*ac* a ddywedasom wrthynt fel hyn; Pwy a
roddes i chwi orchymyn i adeiladu'r tŷ
hwn, ac i sylfaenu'r mur yma?
10 Gofynasom hefyd iddynt eu henwau,
fel yr hyspysem i ti, *ac* fel yr ysgrifenem
enwau'r gwŷr *oedd* yn bennau iddynt.
11 A'r geiriau hyn a attebasant hwy i ni,
gan ddywedyd, Nyni ydym weision Duw
nef a daear, ac yn adeiladu'r tŷ yr hwn a
adeiladwyd cyn hyn lawer o flynyddoedd;
a brenhin mawr o Israel a'i hadeiladodd, ac
e 1 Bren. 6. 1. [e] a'i seiliodd ef.
f 2 Chron. 36. 16, 17. 12 Eithr [f] wedi i'n tadau ni ddigio Duw
y nefoedd, efe a'u rhoddes hwynt yn llaw

[g] Nebuchodonosor brenhin Babilon y Cal- g 2 Bren. 24. 2. a 25. 8.
dead; a'r tŷ hwn a ddinystriodd efe, ac a
gaeth-gludodd y bobl i Babilon.
13 Ond [h] yn y flwyddyn gyntaf i Cyrus 536.
brenhin Babilon y rhoddes y brenhin Cyrus h Pen. 1. 1.
orchymyn i adeiladu y tŷ Duw hwn.
14 A [i] llestri tŷ Dduw hefyd o aur ac i Pen. 1. 7, 8. a 6. 5.
arian, y rhai a ddygasai Nebuchodonosor
o'r deml yn Jerusalem, ac a'u dygasai i deml
Babilon, y rhai hynny a ddug y brenhin
Cyrus allan o deml Babilon, a rhoddwyd
hwynt i *un* Sesbassar *wrth* ei enw, yr hwn a
osodasai efe yn § dywysog; § Neu, *rhaglaw.*
15 Ac efe a ddywedodd wrtho, Cym-
mer y llestri hyn, dos, dwg hwynt i'r deml
yn Jerusalem, ac adeilader tŷ Dduw yn
ei le.
16 Yna y daeth y Sesbassar hwnnw, *ac*
a osododd sylfaeni tŷ Dduw yn Jeru-
salem. Ac o'r pryd hynny hyd yr awr hon 519.
yr ydys yn ei adeiladu, ac ni's gorphen-
wyd ef.
17 Ac yn awr (os da gan y brenhin) ceisi-
er yn nhrysordy'r brenhin yna yn Babilon,
a ddarfu i'r brenhin Cyrus osod gorchy-
myn am adeiladu y tŷ Duw hwn yn Jeru-
salem; ac anfoned y brenhin ei ewyllys at-
tom am y peth hyn.

PEN. VI.

1 *Darius, wedi gweled gorchymyn Cyrus, yn* Mai 24. B.
*rhoi gorchymyn newydd i yrru gwaith y
deml ym mlaen. 13 Gorphen y deml, trwy
gymmorth y gelynion, a chyfarwyddiad y
prophwydi. 16 Cadw gwyl y cyssegriad,
19 a gwyl y Pasg.*

YNA'r brenhin Darius a osododd orchy- 519.
myn; a chwiliwyd yn nhŷ'r llyfrau,
lle y † cedwid y trysorau yn Babilon. † Cald. *dyrchefid.*
2 A chafwyd yn ‡ Achmetha, yn y llys ‡ Neu, *Ecbatana,* neu, *mewn cist.*
yn nhalaith Media, ryw lyfr, ac fel hyn yr
ysgrifenasid ynddo yn goffadwriaeth:
3 Yn y flwyddyn gyntaf i'r brenhin Cyrus
y gosododd y brenhin Cyrus orchymyn *am*
dŷ Dduw o fewn Jerusalem, Adeilader y tŷ,
y fan lle yr aberthent aberthau, a gwnaer yn
gadarn ei sylfeini; yn dri ugain cufydd ei
uchder, *ac* yn dri ugain cufydd ei led:
4 [a] Yn dair rhes o feini mawr, a rhes o a 1 Bren. 6. 36.
goed newydd: a rhodder y draul o dŷ'r
brenhin.
5 A [b] llestri tŷ Dduw hefyd, yn aur ac b Pen. 1. 7, 8. a 5. 14.
yn arian, y rhai a ddug Nebuchodonosor o'r
deml yn Jerusalem, ac a ddug efe adref i
Babilon, rhodder hwynt § i'w dwyn i'r § Cald. *i fyned.*
deml yn Jerusalem, i'w lle, a gosoder *hwynt*
yn nhŷ Dduw.
6 Yn awr Tatnai tywysog y tu hwnt i'r
afon, Setharboznai, a'ch ‖ cyfeillion yr ‖ Cald. *cyfeillach.*
Apharsachiaid, y rhai *ydych* o'r tu hwnt i'r
afon, ciliwch oddi yno.
7 Gadêwch yn llonydd waith tŷ Dduw
hwn: adeilader tywysogion a henuriaid yr
Iuddewon y tŷ hwn i Dduw yn ei le.
8 Gosodais hefyd orchymyn am yr hyn a
wnewch i henuriaid yr Iuddewon hyn wrth
adeiladu y tŷ Dduw hwn; mai o gyfoeth
y brenhin, *sef* o'r deyrn-ged o'r tu hwnt i'r
afon, y rhoddir traul i'r gwŷr hyn, fel na
pheidio'r *gwaith.*
9 A'r hyn *a fyddo* angenrheidiol i boeth-
offrymmau Duw y nefoedd, yn eidionau,
neu yn hyrddod, neu yn ŵyn, yn ŷd, yn
halen, yn win, ac yn olew, yn ol yr hyn
a ddywedo'r offeiriaid *sydd* yn Jerusalem,
rhodder iddynt bob dydd yn ddibaid:

† Cald. *llonydd-uch.*

10 Fel yr offrymmont aroglau † peraidd i Dduw'r nefoedd, ac y gweddïont dros einioes y brenhin, a'i feibion.

11 Gosodais hefyd orchymyn, pa ddyn bynnag a newidio'r gair hwn, tynner coed o'i dŷ ef, a gosoder i sefyll, *ac* ar hwnnw ‡ croger ef; a bydded ei dŷ ef yn dommen am hynny.

‡ Cald. *difether.*

12 A'r Duw, yr hwn a wnaeth i'w enw breswylio yno, a ddinystria bob brenhin a phobl, a estyno ei law i newidio *ac* i ddistrywio'r tŷ hwn eiddo Duw yn Jerusalem. Myfi Darïus a osodais y gorchymyn; gwneler ef yn ebrwydd.

13 ¶ Yna Tatnai tywysog y tu yma i'r afon, Setharboznai, a'u cyfeillion, megis yr anfonodd y brenhin Darïus, felly y gwnaethant yn ebrwydd.

14 A henuriaid yr Iuddewon a adeiladasant, ac a lwyddasant trwy brophwydoliaeth Haggai y prophwyd, a Zecharïah fab Ido; ïe adeiladasant, a gorphenasant, wrth orchymyn Duw Israel, ac wrth § orchymyn c Cyrus a d Darïus, ac e Artaxerxes brenhin Persia.

§ Cald. *gyfraith.*
c Pen. 1. 1. a 5. 13.
Adn. 3.
515.
d Pen. 4. 24.

15 A'r tŷ hwn a orphenwyd y trydydd dydd o fis Adar, pan oedd y chweched flwyddyn o deyrnasiad y brenhin Darïus.

e Pen. 7. 1.
f 1 Bren. 8. 63.
2 Chron. 7. 5.
g Pen. 8. 35.

16 ¶ A meibion Israel, yr offeiriaid a'r Lefiaid, a'r rhan arall o feibion y gaethglud, a f gyssegrasant y tŷ hwn eiddo Duw mewn llawenydd;

17 Ac g a offrymmasant wrth gyssegru'r tŷ hwn eiddo Duw, gant o ychen, dau cant o hyrddod, pedwar cant o ŵyn, a deuddeg o fychod-geifr, yn bech-aberth dros Israel, yn ol rhifedi llwythau Israel.

18 Gosodasant hefyd yr offeiriaid yn eu dosparthiadau, a'r Lefiaid yn eu cylchoedd hwythau, i wasanaeth Duw yn Jerusalem, yn ol ysgrifen llyfr Moses.

19 Meibion y gaeth-glud hefyd a gadwasant y Pasg h ar y pedwerydd *dydd* ar ddeg o'r mis cyntaf.

h Num. 3. 6. a 8. 9. Edrych Exod. 12. 6.

20 Canys yr offeiriaid a'r Lefiaid a ymlanhasant yn gyttûn, yn lân i gŷd oll, ac a aberthasant y Pasg dros holl feibion y gaethglud, a thros eu brodyr yr offeiriaid, a throstynt eu hunain.

21 A meibion Israel, y rhai a ddychwelasent o'r gaeth-glud, a phob un a ymneilldua-sai oddi wrth halogedigaeth cenhedloedd y wlad attynt hwy, i geisio Arglwydd Dduw Israel, a fwyttasant,

22 Ac a gadwasant wyl y bara croyw saith niwrnod mewn llawenydd: canys yr Arglwydd a'u llawenhasai hwynt, ac a droisai galon brenhin Assyria attynt hwy, ‖ i'w cynnorthwyo hwynt yngwaith tŷ Dduw, Duw Israel.

‖ Heb. *i gryfhau eu dwylaw hwynt.*

PEN. VII.

Mai 24. P.

1 *Ezra yn myned i fynu i Jerusalem,* 11 *wedi cael cennad a gorchymyn gan Artaxerxes;* 27 *ac yn bendithio Duw am ei drugaredd.*

457.

AC wedi'r pethau hyn, yn nheyrnasiad a Artaxerxes brenhin Persia, Ezra b mab Seraiah, fab Azarïah, fab Hilcïah,

a Neh. 2. 1.
b 1 Chron. 6. 14.

2 Fab Sâlum, fab Sadoc, fab Ahitub,

3 Fab Amarïah, fab Azarïah, fab Meraioth,

4 Fab Zerahïah, fab Uzzi, fab Bucci,

5 Fab Abisua, fab Phinees, fab Eleazar, fab Aaron yr offeiriad pennaf:

6 Yr Ezra hwn a aeth i fynu o Babilon; ac efe *oedd* c ysgrifenydd cyflym ynghyfraith Moses, yr hon a roddasai Arglwydd Dduw Israel: a'r brenhin a roddes iddo ef ei holl ddymuniad, d fel yr *ydoedd* llaw'r Arglwydd ei Dduw arno ef.

c Adn. 11, 21.
d Adn. 9. Neh. 8. 22, 31.

7 A *rhai* a aethant i fynu o feibion Israel, ac o'r offeiriaid, e a'r Lefiaid, a'r cantorion, a'r porthorion, f a'r Nethiniaid, i Jerusalem, yn y seithfed flwyddyn i'r brenhin Artaxerxes.

e Edrych Pen. 8. 15, &c.
457.
f Pen. 2. 43.

8 Ac efe a ddaeth i Jerusalem yn y pummed mis, yr hwn *oedd* yn y seithfed flwyddyn i'r brenhin.

9 Canys ar y *dydd* cyntaf o'r mis cyntaf † y dechreuodd efe fyned i fynu o Babilon; ac ar y *dydd* cyntaf o'r pummed mis y daeth efe i Jerusalem, fel *yr oedd* daionus law ei Dduw gyd ag ef.

† Neu, *efe oedd sylfaen myned i fynu.*

10 Canys Ezra a barottoisai ei galon i geisio cyfraith yr Arglwydd, ac i'*w* gwneuthur, ac i ddysgu yn Israel ddeddfau a barnedigaethau.

11 ¶ A dyma ystyr y llythyr a roddodd y brenhin Artaxerxes i Ezra yr offeiriad a'r ysgrifenydd, *sef* ysgrifenydd geiriau gorchymynion yr Arglwydd, a'i ddeddfau ef i Israel.

12 Artaxerxes g brenhin y brenhinoedd at Ezra yr offeiriad, ‡ ysgrifenydd deddf Duw y nefoedd, perffaith *dangnefedd,* a'r amser a'r amser.

g Ezec. 26. 7. Dan. 2. 37.
‡ Neu, *ysgrifenydd perffaith deddf Duw y nefoedd tangnefedd, &c.*

13 Myfi a osodais orchymyn, fod i bwy bynnag yn fy nheyrnas i o bobl Israel, ac o'i offeiriaid ef, a'i Lefiaid, sydd ewyllysgar i fyned i Jerusalem, gael myned gyd â thi.

14 O herwydd dy anfon di oddi wrth y brenhin, a'i h saith gynghoriaid, i ymweled â Judah ac â Jerusalem, wrth gyfraith dy Dduw yr hon *sydd* yn dy law di;

h Esth. 1. 14.

15 Ac i ddwyn i yr arian a'r aur a offrymmodd y brenhin a'i gynghoriaid, o honynt eu hunain, i Dduw Israel, yr hwn *y mae* ei breswylfa yn Jerusalem,

i Pen. 8. 25.

16 A'r holl arian a'r aur a fedrych ei gael yn holl dalaith Babilon, gyd ag offrymmau gwirfodd y bobl a'r offeiriaid, y rhai a offrymmant o honynt eu hunain tu ag at dŷ eu Duw yn Jerusalem:

17 Fel y prynech yn ebrwydd â'r arian hynny ychen, hyrddod, ŵyn, a'u bwydoffrymmau, a'u dïod-offrymmau, a'u hoffrwm hwynt ar allor tŷ eich Duw yn Jerusalem.

18 A'r hyn a fyddo da gennyt ti, a chan dy frodyr, ei wneuthur â'r rhan arall o'r arian a'r aur, gwnewch yn ol ewyllys eich Duw.

19 A'r llestri, y rhai a roddwyd it' i wasanaeth tŷ dy Dduw, dod adref o flaen *dy* Dduw *yn* Jerusalem.

20 A pheth bynnag ychwaneg a fyddo anghenrhaid i dŷ dy Dduw, yr hyn a ddigwyddo it' ei roddi, a roddi di o drysordy'r brenhin.

21 A minnau y brenhin Artaxerxes ydwyf yn gosod gorchymyn i holl drysorwŷr y tu hwnt i'r afon, beth bynnag a geisio Ezra, offeiriad, *ac* ysgrifenydd deddf Duw'r nefoedd gennych, gwneler yn ebrwydd;

22 Hyd gan talent o arian, a hyd gan corus o wenith, a hyd gan bath o win, a hyd gan bath o olew, a halen heb fesur.

23 Beth bynnag § yw gorchymyn Duw y nefoedd, gwneler yn ddyfal i dŷ Duw'r nefoedd: canys pa ham y byddai llidiowgrwydd yn erbyn teyrnas y brenhin a'i feibion?

§ Heb. *sydd wrth gyfraith.*

24 Yr ydym yn hyspysu i chwi hefyd, *am*
yr holl offeiriaid, a'r Lefiaid, cantorion,
porthorion, Nethiniaid, a gweinidogion y
tŷ Duw hwn, na ellir bwrw arnynt doll,
na theyrn-ged, na threth.
25 Tithau, Ezra, yn ol doethineb dy
Dduw, yr hon *sydd* yn dy law, gosod
swyddogion a barnwyr, i farnu'r holl bobl
o'r tu hwnt i'r afon, y rhai oll a fedrant
gyfraith dy Dduw; a dysgwch y rhai ni's
medrant.
26 A phwy bynnag ni wnelo gyfraith dy
Dduw, a chyfraith y brenhin, gwneler
barn yn ebrwydd arno ef, pa un bynnag
† Cald. ddiwreiddio. ai i farwolaeth, ai i'w † ddeol, ai i ddirwy
o dda, ai i garchar.
27 ¶ Bendigedig *fyddo* ARGLWYDD
DDUW ein tadau, yr hwn a roddes fel hyn
ynghalon y brenhin, i harddu tŷ 'r AR-
GLWYDD yr hwn *sydd* yn Jerusalem:
k Pen. 9. 9. 28 Ac [k] a barodd i mi drugaredd o flaen
y brenhin a'i gynghoriaid, ac o flaen holl
gedyrn dywysogion y brenhin. A mi a
l Edrych Pen. 5. 5. gynnorthwywyd, fel *yr oedd* [l] llaw'r AR-
GLWYDD fy NUW arnaf fi, a chesglais o
Israel bennaethiaid i fyned i fynu gyd â
mi.

## PEN. VIII.

1 *Pa rai a ddychwelasant gyd ag Ezra o Babilon.* 15 *Ezra yn danfon at Ido am weinidogion i'r deml:* 21 *yn cadw ympryd:* 24 *yn gorchymyn y trysorau i gadwraeth yr offeiriaid.* 31 *Y bobl yn dyfod o Ahafa i Jerusalem.* 33 *Pwyso'r trysor yn y deml.* 36 *Rhoi gorchymyn y brenhin at y pendefigion.*

Cylch 457. A Dyma eu pennau cenedl hwynt, a'u
hachau, y rhai a aeth i fynu gyd â mi,
yn nheyrnasiad Artaxerxes y brenhin, allan
o Babilon.
2 O feibion Phinees; Gersom: o feib-
ion Ithamar; Daniel: o feibion Dafydd;
a 1 Chron. 3. 22. [a] Hattus.
3 O feibion Sechanïah, o feibion [b] Pha-
b Pen. 2. 3. ros; Zecharïah: a chyd ag ef y rhifwyd
wrth eu hachau gant a deg a deugain o
wrrywiaid.
4 O feibion Pahath-moab; Elihoënai
mab Zerahïah, a chyd ag ef ddau cant o
wrrywiaid.
5 O feibion Sechanïah; mab Jahazïel, a
chyd ag ef dri chant o wrrywiaid.
6 O feibion Adin hefyd; Ebed mab Jo-
nathan, a chyd ag ef ddeg a deugain o
wrrywiaid.
7 Ac o feibion Elam; Jesaiah mab A-
thalïah, a chyd ag ef ddeg a thrugain o
wrrywiaid.
8 Ac o feibion Sephatïah; Zebadïah mab
Michael, a chyd ag ef bedwar ugain o
wrrywiaid.
9 O feibion Joab; Obadïah mab Jehïel, a
chyd ag ef ddau cant a deunaw o wrrywiaid.
10 Ac o feibion Selomith; mab Josiphïah,
a chyd ag ef wyth ugain o wrrywiaid.
11 Ac o feibion Bebai; Zecharïah mab
Bebai, a chyd ag ef wyth ar hugain o
wrrywiaid.
† Neu, y mab ieuangaf. 12 Ac o feibion Azgad; Johanan † mab
Haccatan, a chyd ag ef ddeng mab a chant.
13 Ac o feibion olaf Adonicam, dyma
hefyd eu henwau hwynt, Eliphelet, Jeiel,
a Semaiah, a chyd â hwynt drugain o
wrrywiaid.
‡ Neu, Zaccur. 14 Ac o feibion Bigfai; Uthai, a ‡ Zab-
bud, a chyd â hwynt ddeg a thrugain o
wrrywiaid.

15 ¶ A chesglais hwynt wrth yr afon
sydd yn myned i Ahafa; ac yno y gwer-
syllasom ni dridiau: a mi a ystyriais y
bobl, a'r offeiriaid, ond ni chefais yno *neb*
o feibion Lefi.
16 Yna'r anfonais am Elïezer, am A-
riel, am Semaiah, ac am Elnathan, ac am
Jarib, ac am Elnathan, ac am Nathan,
ac am Zecharïah, ac am Mesulam, y pen-
naethiaid; ac am Joiarib, ac am Elnathan,
y rhai doethion:
17 A rhoddais orchymyn gyd â hwynt
at Ido, pennaeth yn y fan *a elwir* Chasiphïa;
a § gosodais yn eu pennau hwynt eiriau § Edrych
i'w traethu wrth Ido, a'i frodyr y Nethini- 2 Sam. 14.
aid, yn y fan *a elwir* Chasiphïa, fel y dygent 3, 19.
attom ni weinidogion i dŷ ein Duw.
18 A hwy a ddygasant attom (fel *yr
oedd* daionus law ein Duw arnom ni)
wr deallgar o feibion Mali, fab Lefi, fab
Israel, a Serebïah, a'i feibion, a'i frodyr,
ddeunaw;
19 A Hasabïah, a chyd ag ef Jesaiah o
feibion Merari, a'i frodyr, a'u meibion,
ugain;
20 Ac [c] o'r Nethiniaid, a roddasai Dafydd c Edrych
a'r tywysogion yngwasanaeth y Lefiaid, Pen. 2. 43.
dau cant ac ugain o Nethiniaid: hwynt oll
a hyspysasid erbyn *eu* henwau.
21 ¶ Ac yno, wrth afon Ahafa, y cyhoedd-
ais ympryd, i [d] ymgystuddio ger bron ein d Lef. 16.
Duw ni, i geisio ganddo ef ffordd union 29.
i ni, ac i'n plant, ac i'n golud oll.
22 Canys [e] cywilydd oedd gennyf geisio e Felly
gan y brenhin fyddin a gwŷr meirch, i'n 1 Cor. 9.
cynnorthwyo rhag y gelyn ar y ffordd: ca- 15.
nys llefarasem wrth y brenhin, gan ddy-
wedyd, Llaw ein Duw ni *sydd* er daioni ar
bawb a'i ceisiant ef, a'i gryfdwr a'i ddigter
yn erbyn pawb a'i gadawant ef.
23 Am hynny yr ymprydiasom ac yr
ymbiliasom â'n Duw am hyn; ac efe a
wrandawodd arnom.
24 ¶ Yna y neillduais ddeuddeg o ben-
naethiaid yr offeiriaid, Serebïah, Hasabïah,
a deg o'u brodyr gyd â hwynt;
25 Ac a bwysais attynt hwy [f] yr arian, f Pen. 7. 15,
a'r aur, a'r llestri, *sef* offrwm tŷ ein Duw 16.
ni, yr hyn a offrymmasai'r brenhin, a'i
gynghoriaid, a'i dywysogion, a holl Israel,
y rhai a gawsid *yno.*
26 Ië pwysais i'w dwylaw hwynt chwe
chant a deg a deugain talent o arian, ac
o lestri arian gan talent, *a* chan talent o
aur;
27 Ag ugain o orflychau aur o fil o ddrac-
monau; a dau lestr o bres melyn da, mor
|| brydferth ag aur. || Heb.
28 A dywedais wrthynt, Sanctaidd *ydych* ddymunol.
chwi i'r ARGLWYDD; a'r llestri *ydynt*
sanctaidd; yr arian hefyd a'r aur *sydd*
offrwm gwirfodd i ARGLWYDD DDUW eich
tadau.
29 Gwyliwch, a chedwch *hwynt*, hyd
oni phwysoch *hwynt* ger bron pennaeth-
iaid yr offeiriaid a'r Lefiaid, a phennau
cenedl Israel yn Jerusalem, ynghelloedd
tŷ 'r ARGLWYDD.
30 Felly'r offeiriaid a'r Lefiaid a gym-
merasant bwys yr arian, a'r aur, a'r llestri,
i'w dwyn i Jerusalem i dŷ ein Duw
ni.
31 ¶ A chychwynasom oddi wrth afon
Ahafa, ar y deuddegfed *dydd* o'r mis cyn-
taf, i fyned i Jerusalem: a [g] llaw ein g Pen. 7. 6,
Duw oedd arnom ni, ac a'n gwaredodd o 28.

law y gelyn, a'r rhai *oedd* yn cynllwyn ar y
ffordd.
h Neh. 2. 32 A ni [h] a ddaethom i Jerusalem, ac a
11. arhosasom yno dridiau.
33 ¶ Ac ar y pedwerydd dydd y pwys-
wyd yr arian, a'r aur, a'r llestri, yn nhŷ
ein Duw ni, trwy law Meremoth fab
Urïah yr offeiriad; ac Eleazar mab Phi-
nees *oedd* gyd ag ef; a Jozabad mab Jesua,
a Noadïah mab Binnui, y Lefiaid, *oedd* gyd
â hwynt:
34 Wrth rifedi, *ac* wrth bwys pob un. A'r
holl bwysau a 'sgrifenwyd y pryd hynny.
35 Meibion y gaeth-glud, y rhai a ddaeth
i Felly o'r caethiwed, [i] a offrymmasant poeth-
Pen. 6. 17. offrymmau i Dduw Israel, *sef* deuddeg o
fustych dros holl Israel, onid pedwar pum
ugain o hyrddod, namyn tri pedwar ugain
o ŵyn, *a* deuddeg o fychod yn bech-aberth:
y cwbl *oedd* yn offrwm poeth i'r Ar-
glwydd.
36 ¶ A rhoddasant orchymyn y brenhin
at bendefigion y brenhin, a thywysogion y
tu hwnt i'r afon: a hwy a gynnorthwyasant
y bobl, a thŷ Dduw.

## PEN. IX.

Mai 25. B. 1 *Ezra yn gofidio am fod y bobl yn ymgyfath-*
*rachu â dieithriaid; 5 yn gweddïo Duw,*
*ac yn cyfaddef eu pechodau hwynt.*

457. AC wedi darfod hynny, y tywysogion a
ddaethant attaf fi, gan ddywedyd, Nid
ymneillduodd pobl Israel, a'r offeiriaid,
a'r Lefiaid, oddi wrth bobl y gwledydd:
*gwnaethant* yn ol eu ffieidd-dra hwynt; *sef*
y Canaaneaid, yr Hethiaid, y Phereziaid,
y Jebusiaid, yr Ammoniaid, y Moabiaid, yr
Aiphtiaid, a'r Amoriaid.
2 Canys cymmerasant o'u merched iddynt
eu hun, ac i'w meibion; a'r had sanctaidd
a ymgymmysgodd â phobl y gwledydd: a
llaw y pennaethiaid a'r tywysogion fu gyn-
taf yn y camwedd hyn.
a Job 1. 3 Pan glywais innau hyn, [a] mi a rwygais
20. fy nillad a'm gwisg, ac a dynnais wallt fy
mhen a'm barf, ac a eisteddais yn synn.
b Pen. 10. 4 Yna 'r ymgasglodd attaf fi bob un a'r [b] a
3. ofnodd eiriau Duw Israel, am gamwedd y
rhai a gaeth-gludasid; a myfi a eisteddais
yn synn hyd yr aberth prydnhawnol.
5 ¶ Ac ar yr aberth prydnhawnol mi a
gyfodais o'm cystudd; ac wedi i mi rwygo
fy nillad a'm gwisg, mi a ostyngais ar fy
ngliniau, ac a ledais fy nwylaw at yr Ar-
glwydd fy Nuw,
6 Ac a ddywedais, O fy Nuw, y mae ar-
naf gywilydd a gorchwyledd godi fy wyneb
c Psal. 38. attat ti, fy Nuw; o herwydd [c] ein hanwir-
4. eddau ni a aethant yn aml dros ben, a'n
† Neu, euog- † camwedd [d] a dyfodd hyd y nefoedd.
rwydd. 7 Er dyddiau ein tadau 'r *ydym* ni mewn
d 2 Chron. camwedd mawr hyd y dydd hwn; ac am
28. 9. ein hanwireddau y rhoddwyd ni, ein bren-
hinoedd, *a'n* hoffeiriaid, i law brenhinoedd
y gwledydd, i'r cleddyf, i gaethiwed, ac
i anrhaith, ac i warthrudd wyneb, megis
heddyw.
8 Ac yn awr dros ennyd fechan y daeth
gras oddi wrth yr Arglwydd ein Duw, i
adael i ni weddill i ddïangc, ac i roddi i ni
hoel yn ei le sanctaidd ef; fel y goleuai ein
Duw ein llygaid, ac y rhoddai i ni ychydig
orphwysdra yn ein caethiwed.
9 Canys caethion *oeddym* ni; ond ni
adawodd ein Duw ni yn ein caethiwed,
e Pen. 7. 28. eithr [e] parodd i ni drugaredd o flaen
brenhinoedd Persia, i roddi i ni orphwysdra
i ddyrchafu tŷ ein Duw ni, ac i gyfodi ei
leoedd anghyfannedd ef, ac i roddi i ni fur
yn Judah a Jerusalem.
10 Ac yn awr beth a ddywedwn wedi
hyn, O ein Duw? canys gadawsom dy or-
chymynion di,
11 Y rhai a orchymynaist trwy law dy
weision y prophwydi, gan ddywedyd, Y
wlad yr ydych yn myned iddi i'w medd-
iannu, gwlad halogedig *yw* hi, trwy halog-
edigaeth pobl y gwledydd, oblegid eu
ffieidd-dra hwynt, y rhai a'i llanwasant hi
â'u haflendid ‡ o gwrr bwy gilydd. ‡ Heb.
12 Ac yn awr, [f] na roddwch eich merch- *o enau i*
ed i'w meibion hwynt, ac na chymmerwch *enau;* *megis*
eu merched hwynt i'ch meibion chwi, ac 2 Bren. 21.
[g] na cheisiwch eu heddwch hwynt na'u 16.
daioni byth: fel y cryfhaoch, ac y mwynha- f Exod. 23.
och ddaioni 'r wlad, ac y gadawoch hi yn 32. Deut. 7. 3.
etifeddiaeth i'ch meibion byth. g Deut. 23.
13 Ac wedi yr hyn oll a ddaeth arnom 6.
am ein drwg weithredoedd, a'n mawr
gamwedd, am i ti ein Duw [h] § ein cospi yn h Psal. 103.
llai nâ'n hanwiredd, a rhoddi i ni ddïangfa 10.
fel hyn; § Heb.
14 A dorrem ni drachefn dy orchymynion *attal is*
di, ac ymgyfathrachu ‖ â'r ffiaidd bobl hyn? *law ein hanwir-*
oni ddigit ti wrthym, nes *ein* difetha, fel na *edd.*
*byddai un* gweddill na dïangol? ‖ Heb.
15 Arglwydd Dduw Israel, cyfiawn *â phobl y ffieidd-dra*
*ydwyt* ti; eithr gweddill dïangol ydym ni, *hyn?*
megis heddyw: wele ni o'th flaen di yn ein
camweddau; canys ni allwn ni sefyll o'th
flaen di am hyn.

## PEN. X.

1 *Sechanïah yn annog Ezra i ddiwygio'r*
*priodasau dieithr. 6 Ezra yn galaru, ac*
*yn casglu'r bobl ynghŷd. 9 Y bobl, trwy*
*eiriol Ezra, yn edifarhâu, ac yn addaw*
*gwellhâu. 15 Eu gofal am gyflawni hynny.*
*18 Enwau 'r rhai a briodasai wragedd*
*dieithr.*

AC wedi i Ezra weddïo a chyffesu, gan 457.
wylo a syrthio i lawr o flaen tŷ Dduw,
tyrfa fawr o Israel a ymgasglasant atto ef,
yn wŷr, ac yn wragedd, ac yn blant: canys
y bobl a wylasant ag wylofain mawr.
2 Yna y llefarodd Sechanïah mab Jehïel,
o feibion Elam, ac a ddywedodd wrth Ezra,
Ni a bechasom yn erbyn ein Duw, ac a
gyttaliasom â gwragedd dïeithr o bobl y
wlad: etto yn awr y mae gobaith i Israel
am hyn.
3 Yn awr, gan hynny, gwnawn gyfam-
mod â'n Duw, ar † fwrw allan yr holl † Heb.
wragedd, a'u plant, wrth gyngor yr Ar- *ddwyn allan.*
glwydd, a'r rhai [a] a ofnant [b] orchymynion a Pen. 9. 4.
ein Duw: a gwneler yn ol y gyfraith. b Deut. 7.
4 Cyfod; canys arnat ti *y mae*'r peth: 2, 3.
a ni *a fyddwn* gyd â thi: ymwrola, a
gwna.
5 Yna y cyfododd Ezra, ac a dyngodd
bennaethiaid yr offeiriaid a'r Lefiaid, a holl
Israel, ar wneuthur yn ol y peth hyn. A
hwy a dyngasant.
6 ¶ Yna y cyfododd Ezra o flaen tŷ
Dduw, ac a aeth i ystafell Johanan fab Eli-
asib: a *phan* ddaeth yno, ni fwyttaodd fara,
ac nid yfodd ddwfr; canys galaru 'r oedd am
gamwedd y gaeth-glud.
7 A chyhoeddasant yn Judah a Jerusalem,
ar i holl feibion y gaeth-glud ymgasglu i
Jerusalem;
8 A phwy bynnag ni ddelai o fewn

tridiau, yn ol cyngor y pennaethiaid a'r
henuriaid, efe a gollai ei holl olud, ac yntau
a ddidolid oddi wrth gynnulleidfa'r rhai a
gaeth-gludasid.
9 ¶ Felly holl wŷr Judah a Benjamin a
ymgasglasant i Jerusalem o fewn tridiau:
hynny *oedd* y nawfed mis, ar yr ugeinfed
*dydd* o'r mis; a'r [c] holl bobl a eisteddasant
yn heol tŷ DDUW, yn crynu o achos y peth
*hyn*, a o achos y † gwlawogydd.
10 Ac Ezra'r offeiriad a gyfododd, ac a
ddywedodd wrthynt, Chwi a bechasoch, ac
a gyttaliasoch â gwragedd dïeithr, gan
ychwanegu ar bechod Israel.
11 Ac yn awr rhoddwch foliant i ARGLWYDD DDUW eich tadau, a gwnewch ei
ewyllys ef; ac ysgerwch oddi wrth bobl y
tir, ac oddi wrth y gwragedd dïeithr.
12 A holl dyrfa Israel a attebasant, ac a
ddywedasant â llef uchel, Yn ol dy air di y
mae arnom ni wneuthur.
13 Eithr y bobl sydd lawer, a'r amser
yn wlawog, ac ni ellir sefyll allan, ac nid
gwaith un diwrnod na dau *ydyw*: canys
pechasom ‡ yn ddirfawr yn y peth hyn.
14 Safed yn awr ein pennaethiaid o'r holl
dyrfa, a deued y rhai o'n dinasoedd a gyttaliasant â gwragedd dïeithr, ar amseroedd
gosodedig, a henuriaid pob dinas, a'u barnwŷr gyd â hwynt, nes troi digter ein Duw
oddi wrthym § am y peth hyn.
15 ¶ Yn unig Jonathan mab Asahel, a
Jahasïah mab Ticfah, a ‖ osodwyd ar hyn:
Mesŭlam hefyd a Sabbethai y Lefiad a'u
cynnorthwyasant hwy.
16 A meibion y gaeth-glud a wnaethant
felly. Ac Ezra'r offeiriad, *a'r* gwŷr *oedd*
bennau cenedl tŷ eu tadau, a hwynt oll wrth
*eu* henwau, a neillduwyd, ac a eisteddasant
ar y dydd cyntaf o'r degfed mis, i ymofyn
am y peth hyn.
17 A hwy a wnaethant ben â'r holl wŷr
a gyttaliasent â gwragedd dïeithr, erbyn y
456. dydd cyntaf o'r mis cyntaf.
18 ¶ A chafwyd o feibion yr offeiriaid,
y rhai a gyttaliasent â gwragedd dïeithr:
o feibion Jesua fab Josadac, a'i frodyr; Maaseiah, ac Elïezer, a Jarib, a Gedalïah.
19 A hwy [d] a roddasant eu dwylaw ar
fwrw allan eu gwragedd; a chan iddynt
bechu, *a offrymmasant* hwrdd o'r praidd dros
eu camwedd.
20 Ac o feibion Immer; Hanani, a Zebadïah.
21 Ac o feibion Harim; Maaseiah, ac
Elïah, a Semaiah, a Jehiel, ac Uzziah.
22 Ac o feibion Pasur; Elioenai, Maaseiah,
Ismael, Nethaneel, Jozabad, ac Elasah.
23 Ac o'r Lefiaid; Jozabad, a Simei, a
Chelaiah, (hwnnw *yw* Celita) Pethahiah,
Judah, ac Elïezer.
24 Ac o'r cantorion; Elïasib: ac o'r porthorion; Sàlum, a Thelem, ac Uri.
25 Ac o Israel: o feibion Paros; Ramïah,
a Jesïah, a Malchïah, a Miamin, ac Eleazar,
a Malchïah, a Benaiah.
26 Ac o feibion Elam; Mattanïah, Zechariäh, a Jehïel, ac Abdi, a Jeremoth, ac
Elïah.
27 Ac o feibion Zattu; Elioënai, Elïasib, Mattanïah, a Jeremoth, a Zabad, ac
Aziza.
28 Ac o feibion Bebai; Jehohanan, Hananïah, Zabbai, *ac* Athlai.
29 Ac o feibion Bani; Mesŭlam, Màluch, ac Adaiah, Jasub, a Seal, a Ramoth.
30 Ac o feibion Pahath-moab; Adna, a
Chelal, Benaiah, Maaseiah, Mattanïah, Bezaleel, a Binnui, a Manasseh.
31 Ac *o* feibion Harim; Elïezer, Isïah,
Malchïah, Semaiah, Simeon,
32 Benjamin, Màluch, *a* Semarïah.
33 O feibion Hasum; Mattenai, Mattathah, Zabad, Eliphelet, Jeremai, Manasseh,
*a* Simei.
34 O feibion Bani; Maadai, Amram, ac
Uel,
35 Benaiah, Bedeiah, Cèlu,
36 Fanïah, Meremoth, Elïasib,
37 Mattanïah, Mattenai, a Jaasau,
38 A Bani, a Binnui, Simei,
39 A Selemïah, a Nathan, ac Adaiah,
40 † Machnadebai, Sasai, Sarai,
41 Azarëel, a Selemïah, a Semarïah,
42 Sàlum, Amarïah, *a* Joseph.
43 O feibion Nebo; Jeiel, Mattithïah,
Zabad, Zebina, Jadau, a Joël, *a* Benaiah.
44 Y rhai hyn oll a gymmerasant wragedd
dïeithr: ac yr oedd *i rai* o honynt wragedd
a ddygasai blant iddynt.

[c] Edrych 1 Sam. 12. 18.
† Heb. *cawodydd.*
‡ Neu, *lawer o honom.*
§ Neu, *nes gorphen y peth hyn.*
‖ Heb. *safodd.*
[d] 2 Bren. 10. 15.
† Neu, *Mabnadebai.*

# ¶ LLYFR NEHEMIAH.

## PEN. I.

Mai 25. P. 1 *Nehemïah, wrth glywed gan Hanani ddrwg gyflwr Jerusalem, yn galaru, ac yn ymprydio, ac yn gweddïo.* 5 *Ei weddi ef.*

Cyn Crist cylch 446.

GEIRIAU Nehemïah mab Hachalïah. A
bu ym mis Cisleu, *yn* yr ugeinfed
flwyddyn, pan oeddwn i ym mrenhinllys
Susan,
2 Ddyfod o Hanani, un o'm brodyr, efe
a gwŷr o Judah; a gofynais iddynt am yr
Iuddewon a ddïangasai, y rhai a adawsid
o'r caethiwed, ac am Jerusalem.
3 A hwy a ddywedasant wrthyf, Y gweddillion, y rhai a adawyd o'r gaeth-glud yno
yn y dalaith, *ydynt* mewn blinder mawr a
gwaradwydd: mur Jerusalem hefyd [a] a
ddrylliwyd, a'i phyrth a losgwyd â thân.
4 ¶ A phan glywais y geiriau hyn, myfi
a eisteddais ac a wylais, ac a alerais *ddyddiau*
o ddyddiau; a bûm yn ymprydio, ac yn
gweddïo ger bron Duw y nefoedd;
5 A dywedais, Attolwg, [b] ARGLWYDD
DDUW y nefoedd, y Duw mawr ac ofnadwy, [c] yr hwn sydd yn cadw cyfammod
a thrugaredd i'r rhai a'i carant ef ac a
gadwant ei orchymynion:
6 Bydded, attolwg, dy glust yn clywed,
[d] a'th lygaid yn agored, i wrando ar weddi
dy was, yr hon yr ydwyf fi yn ei gweddïo
ger dy fron di yr awr hon ddydd a nos,
dros feibion Israel dy weision, ac yn cyffesu pechodau meibion Israel, y rhai a
bechasom i'th erbyn: myfi hefyd a thŷ fy
nhad a bechasom.
7 Gwnaethom yn llygredig iawn i'th
erbyn, ac ni chadwasom y gorchymynion,
na'r deddfau, na'r barnedigaethau, a orchymynaist i Moses dy was.
8 Cofia, attolwg, y gair a orchymynaist
wrth Moses dy was, gan ddywedyd, [e] *Os*
chwi a droseddwch, myfi a'ch gwasgaraf
chwi ym mysg y bobloedd:
9 Ond *os* dychwelwch attaf fi, a chadw
fy ngorchymynion, a'u gwneuthur hwynt;

[a] 2 Bren. 25. 10.
[b] Dan. 9. 4.
[c] Exod. 20. 6.
[d] 1 Bren. 8. 29.
[e] Lef. 26. 39. Deut. 4. 25, &c.

[f] Deut. 30. 4. f pe gyrrid rhai o honoch chwi hyd eithaf
y nefoedd, *etto* mi a'u casglaf hwynt oddi
yno, ac a'u dygaf i'r lle a etholais i drigo
o'm henw ynddo.
10 A hwy *ydynt* dy weision a'th bobl, y
rhai a waredaist â'th fawr allu, ac â'th law
nerthol.
11 Attolwg, ARGLWYDD, bydded yn awr
dy glust yn gwrando ar weddi dy was, ac ar
weddi dy weision y rhai sydd yn ewyllysio
ofni dy enw: llwydda hefyd, attolwg, dy
was heddyw, a chaniattâ iddo *gael* trugaredd
ger bron y gwr hwn. Canys myfi oedd drull-
iad i'r brenhin.

## PEN. II.

Mai 26. B. 1 *Artaxerxes, pan wybu'r achos yr oedd
Nehemïah yn athrist, yn ei anfon ef â lly-
thyrau ac â gorchymynion i Jerusalem.* 9
*Nehemïah yn dyfod i Jerusalem, a'r gelynion
yn ddrwg ganddynt hynny.* 12 *Yntau yn
gyfrinachol yn golygu adfail y caerau,* 17
*ac yn annog yr Iuddewon i adeiladu Je-
rusalem, er gwaethaf eu gelynion.*

Cylch 445. AC ym mis Nisan, *yn* yr ugeinfed flwydd-
yn i [a] Artaxerxes y brenhin, *yr oedd*
[a] Ezra 7. 1. gwin o'i flaen ef: a mi a gymmerais y
gwin, ac a'i rhoddais i'r brenhin. Ond ni
byddwn *arferol o fod* yn drist ger ei fron ef.
2 Am hynny y brenhin a ddywedodd
wrthyf, Pa ham *y mae* dy wyneb-pryd yn
drist, a thithau heb fod yn glaf? nid *yw*
hyn ond tristwch calon. Yna'r ofnais yn
ddirfawr:
[b] 1 Bren. 1. 31. Dan. 2. 4. a 3. 9. a 5. 10. a 6. 6, 21. 3 A dywedais wrth y brenhin, [b] Byw
fyddo'r brenhin yn dragywydd: pa ham
na thristaai fy wyneb, pan fyddai y ddinas,
tŷ beddrod fy nhadau, wedi *ei* dinystrio,
a'i phyrth wedi eu hysu â thân?
4 A'r brenhin a ddywedodd wrthyf, Pa
beth yr wyt ti yn ei ddymuno? Yna y
gweddïais ar DDUW y nefoedd.
5 A mi a ddywedais wrth y brenhin, O
rhynga bodd i'r brenhin, ac od yw dy was
yn gymmeradwy ger dy fron di, ar it' fy
anfon i Judah, i ddinas beddrod fy nhadau,
fel yr adeiladwyf hi.
6 A'r brenhin a ddywedodd wrthyf (a'i
wraig yn eistedd yn ei ymyl ef) Pa hyd
y bydd dy daith di, a pha bryd y dy-
[c] Pen. 5. 14. a 13. 6. chweli? A gweledd y brenhin yn dda fy an-
fon i, a minnau a nodais iddo [c] amser.
7 Yna y dywedais wrth y brenhin, O
rhynga bodd i'r brenhin, rhodder i mi
lythyrau at y tywysogion o'r tu hwnt i'r
afon, fel y trosglwyddont fi nes fy nyfod i
Judah;
8 A llythyr at Asaph, ceidwad coedwig y
brenhin, fel y rhoddo efe i mi goed i wneu-
thur trawstiau i byrth y palas y rhai *a
berthyn* i'r tŷ, ac i fur y ddinas, ac i'r tŷ
yr elwyf iddo. A'r brenhin a roddodd i mi,
[d] Ezra 5. 5. a 7. 6, 9, 28. Adn. 18. [d] fel yr *oedd* daionus law fy NUW arnaf fi.
9 ¶ Yna y daethum at y tywysogion o'r
tu hwnt i'r afon, ac a roddais iddynt lythyr-
au'r brenhin. (A'r brenhin a anfonasai dy-
wysogion y llu, a marchogion gyd â mi.)
10 Pan glybu Sanbalat yr Horoniad, a
Thobïah y gwas, yr Ammoniad, *y peth hyn*,
bu ddrwg iawn ganddynt, am ddyfod dyn
i geisio daioni i feibion Israel.
[e] Ezra 8. 32. 11 Felly mi [e] a ddeuthum i Jerusalem, ac
a fum yno dridiau.
12 ¶ A chyfodais liw nos, myfi ac ychy-
dig wŷr gyd â mi; ac ni fynegais i neb
beth a roddasai fy NUW yn fy nghalon ei
wneuthur yn Jerusalem: ac anifail nid
*oedd* gennyf, ond yr anifail yr oeddwn yn
marchogaeth arno.
13 A mi a euthum allan liw nos, trwy
[f] borth y glynn, ar gyfer ffynnon y ddraig, [f] 2 Chron.
ac at borth y dom; a deliais sulw ar furiau 26. 9.
Jerusalem y rhai oedd wedi eu dryllio, Pen. 3. 13.
a'i phyrth *y rhai* oedd wedi eu hysu â
thân.
14 Yna y tramwyais i borth y ffynnon, ac
at bysgod-lyn y brenhin: ac nid *oedd* le
i'r anifail *oedd* danaf i fyned heibio.
15 A mi a euthum i fynu gan lan yr afon
liw nos, ac a ddeliais sulw ar y mur, ac a
ddychwelais, ac a ddaethum trwy borth
y glynn, ac *felly* y troais yn ol.
16 A'r pennaethiaid ni wyddent i ba le'r
aethwn i, na pheth yr oeddwn yn ei wneu-
thur; a hyd yn hyn ni fynegaswn *ddim* i'r
Iuddewon, nac i'r offeiriaid, nac i'r pen-
defigion, nac i'r pennaethiaid, nac i'r rhan
arall oedd yn gwneuthur y gwaith.
17 ¶ Yna y dywedais wrthynt, Yr ydych
yn gweled yr adfyd yr ydym ynddo, fod
Jerusalem wedi ei dinystrio, a'i phyrth
wedi eu llosgi â thân: deuwch, ac adeil-
adwn fur Jerusalem, fel na byddom mwy-
ach yn waradwydd.
18 Yna y mynegais iddynt fod [g] llaw fy [g] Adn. 8.
NUW yn ddaionus tu ag attaf; a geiriau'r
brenhin hefyd y rhai a ddywedasai efe
wrthyf. A hwy a ddywedasant, Cyfodwn,
ac adeiladwn. Felly y cryfhasant eu dwy-
law i ddaioni.
19 Ond pan glybu Sanbalat yr Horoniad,
a Thobïah y gwas, yr Ammoniad, a Gesem
yr Arabiad, *hyn*, hwy a'n gwatwarasant ni,
ac a'n dirmygasant, ac a ddywedasant, Pa
beth *yw* hyn yr ydych chwi yn ei wneu-
thur? a wrthryfelwch chwi yn erbyn y
brenhin?
20 Yna'r attebais hwynt, ac y dywedais
wrthynt, DUW y nefoedd, efe a'n llwydda
ni; a ninnau ei weision ef a gyfodwn, ac
a adeiladwn: ond [h] nid *oes* i chwi ran, [h] Ezra 4. 3.
na chyfiawnder, na choffadwriaeth yn Je-
rusalem.

## PEN. III.

1 *Enwau a threfn y rhai a adeiladasant gaerau
Jerusalem.*

YNA [a] Eliasib yr arch-offeiriad a gyfod- 445.
odd, a'i frodyr yr offeiriaid, a hwy a [a] Pen. 12. 10.
adeiladasant [b] borth y defaid; hwy a'i
cyssegrasant, ac a osodasant ei ddorau ef; [b] Pen. 12. 39.
ie hyd dŵr Meah y cyssegrasant ef, *a* hyd [c] Jer. 31. 38.
dŵr [c] Hananeel.
2 A cher llaw iddo ef yr adeiladodd [d] Ezra 2. 34.
[d] gwŷr Jericho. A cher llaw iddynt hwy
yr adeiladodd Zaccur mab Imri. [e] Ezra 2. 35.
3 A [e] meibion Hassenaah a adeiladasant [f] 2 Chron. 33. 14.
[f] borth y pysgod; hwynt-hwy a osodasant
ei drawstiau ef, ac [g] a osodasant ei ddorau, Seph. 1. 10.
ei gloiau, a'i farrau. [g] Edrych Pen. 6. 1. a 7. 1.
4 A cher eu llaw hwynt y cyweiriodd
Meremoth mab Urïah, fab Cos. A cher
eu llaw hwynt y cyweiriodd Mesulam mab
Berechïah, fab Mesezabeel. A cher eu llaw
hwynt y cyweiriodd Sadoc mab Baana.
5 A cher llaw iddynt hwy y cyweiriodd
y Tecoiaid; ond eu gwŷr mawr ni osod-
asant eu gwddf [h] yngwasanaeth eu Har- [h] Barn. 5. 23.
glwydd.
6 A Jehoiada mab Paseah, a Mesulam
mab Besodeiah, a gyweiriasant yr hen borth;
hwy a osodasant ei drawstiau ef, ac a
osodasant i fynu ei ddorau, a'i gloiau, a'i
farrau.

7 A cher eu llaw hwynt y cyweiriodd Melatïah y Gibeoniad, a Jadon y Meronothiad, gwŷr Gibeon a Mispah, hyd orseddfa'r llywydd *oedd* tu yma i'r afon.

8 Ger llaw iddo ef y cyweiriodd Uzzïel mab Harhaiah, o'r gofaint aur. Ger llaw iddo yntau y cyweiriodd Hananiah, mab *un* o'r apothecariaid: a hwy a † gyweiriasant Jerusalem hyd y mur llydan.

† Neu, *adawsant.*

9 A cher eu llaw hwynt y cyweiriodd Rephaiah mab Hur, tywysog hanner rhan Jerusalem.

10 A cher llaw iddynt hwy y cyweiriodd Jedaiah mab Harumaph, ar gyfer ei dŷ. A Hattus mab Hasabniah a gyweiriodd ger llaw iddo yntau.

11 Malchïah mab Harim, a Hasub mab Pahath-moab, a gyweiriasant ‡ ran arall, a thŵr y ffyrnau.

‡ Heb. *yr ail mesur.*

12 A cher llaw iddo ef y cyweiriodd Sàlum mab Halohes, tywysog hanner rhan Jerusalem, efe a'i ferched.

13 [i] Porth y glynn a gyweiriodd Hanun, a thrigolion Zanoah; hwynt-hwy a'i hadeiladasant ef, ac a osodasant ei ddorau ef, ei gloiau, a'i farrau, a mil o gufyddau ar y mur, hyd [k] borth y dom.

[i] Pen. 2. 13. [k] Pen. 2. 13.

14 Ond porth y dom a gyweiriodd Malchïah mab Rechab, tywysog rhan o Beth-haccerem; efe a'i hadeiladodd, ac a osododd ei ddorau, ei gloiau, a'i farrau.

15 A Sàlum mab Col-hozeh, tywysog rhan o Mispah, a gyweiriodd [l] borth y ffynnon; efe a'i hadeiladodd, ac a'i toodd, ac a osododd ei ddorau ef, ei gloiau, a'i farrau, a mur [m] pysgod-lyn Siloah wrth ardd y brenhin, a hyd y grisiau sydd yn dyfod i wared o ddinas Dafydd.

[l] Pen. 2. 14. [m] Ioan 9. 7.

16 Ar ei ol ef y cyweiriodd Nehemïah mab Azbuc, tywysog hanner rhan Beth-sur, hyd ar gyfer beddrod Dafydd, a hyd [n] y pysgod-lyn a wnelsid, a hyd dŷ y cedyrn.

[n] 2 Bren. 20. 20.

17 Ar ei ol ef y cyweiriodd y Lefiaid, Rehum mab Bani. Ger llaw iddo ef y cyweiriodd Hasabïah, tywysog hanner rhan Ceilah, yn ei fro ei hun.

18 Ar ei ol ef eu brodyr hwynt a gyweiriasant, Bafai mab Henadad, tywysog hanner rhan Ceilah.

19 A cher llaw iddo ef y cyweiriodd Ezer mab Jesua, tywysog Mispah, ran arall ar gyfer y ddringfa i dŷ'r arfau, wrth § y drofa.

§ *droead y mur.*

20 Ar ei ol ef Baruc mab ‖ Zabbai yn awyddus a gyweiriodd y mesur arall, o'r drofa hyd ddrws tŷ Elïasib yr arch-offeiriad.

‖ Neu, *Zaccai.*

21 Ar ei ol ef Meremoth mab Urïah, fab Cos, a gyweiriodd y mesur arall, o ddrws tŷ Elïasib hyd dalcen tŷ Elïasib.

22 Ac ar ei ol ef yr offeiriaid, gwŷr y gwastadedd a gyweiriasant.

23 Ar ei ol ef y cyweiriodd Benjamin, a Hasub, gyferbyn â'u tŷ. Wedi yntau Azarïah mab Maaseiah, fab Ananïah, a gyweiriodd wrth ei dŷ.

24 Ar ei ol yntau Binnui mab Henadad a gyweiriodd fesur arall, o dŷ Azarïah hyd y drofa, sef hyd y gongl.

25 Palal mab Uzai, ar gyfer y drofa, a'r tŵr sydd yn myned allan o uchel-dy'r brenhin, yr hwn *sydd* wrth [o] gyntedd y carchar. Ar ei ol ef, Pedaiah mab Paros.

[o] Jer. 32. 2. a 33. 1. a 37. 21.

26 A'r [p] Nethiniaid, y rhai oedd yn trigo yn † [q] Ophel, hyd ar gyfer [r] porth y dwfr, tu a'r dwyrain, a'r tŵr oedd yn myned allan.

[p] Ezra 2. 43. † *y tŵr.* [q] 2 Chron. 27. 3. [r] Pen. 8. 1, 3. a 12. 37.

27 Ar ei ol yntau y Tecoiaid a gyweiriasant fesur arall, ar gyfer y tŵr mawr sydd yn myned allan, hyd fur Ophel.

28 Oddi ar [s] borth y meirch, yr offeiriaid a gyweiriasant bob un gyferbyn â'i dŷ.

[s] 2 Bren. 11. 16. Jer. 31. 40.

29 Ar eu hol hwynt Sadoc mab Immer a gyweiriodd ar gyfer ei dŷ. Ac ar ei ol yntau y cyweiriodd Semaiah mab Sechanïah, ceidwad porth y dwyrain.

30 Ar ei ol ef y cyweiriodd Hananïah mab Selemïah, a Hanun chweched mab Salaph, y mesur arall. Ar ei ol yntau Mesùlam mab Berechïah a gyweiriodd ar gyfer ei 'stafell.

31 Ar ei ol yntau Malchïah, mab y gof aur, a gyweiriodd hyd dŷ'r Nethiniaid, a'r marchnadyddion ar gyfer porth Miphcad, hyd ystafell y gongl.

32 A rhwng ystafell y gongl a phorth y defaid, yr eurychod a'r marchnadyddion a gyweiriasant.

## PEN. IV.

*1 Nehemïah yn gweithio, ac yn myned rhagddo yn adeiladu Jerusalem, er bod y gelynion yn ei watwor. 7 A phan wybu eu digllonedd a'u cyfrinach hwy, yn gosod gwyliadwriaeth, 13 yn arfogi'r gweithwŷr, 19 ac yn dysgu iddynt ryfela.* Mai 26. P.

PAN glybu [a] Sanbàlat ein bod ni yn adeiladu'r mur, efe a gynddeiriogodd ynddo, ac a lidiodd yn ddirfawr, ac a watwarodd yr Iuddewon. 445.

[a] Pen. 2. 10.

2 Ac efe a lefarodd o flaen ei frodyr a llu Samaria, ac a ddywedodd, Beth y mae'r Iuddewon gweiniaid hyn yn ei wneuthur? a adewir iddynt hwy? a aberthant? a orphenant mewn diwrnod? a godant hwy'r cerrig o'r tyrrau llwch, wedi eu llosgi?

3 A Thobïah yr Ammoniad *oedd* yn ei ymyl, ac efe a ddywedodd, Er eu bod hwy yn adeiladu, *etto* ped elai llwynog i fynu, efe a fwriai i lawr eu mur cerrig hwynt.

4 Gwrando, O ein Duw; canys yr ydym yn † ddirmygus: dychwel hefyd eu gwaradwydd ar eu pennau hwynt, a dod hwynt yn anrhaith yngwlâd y caethiwed:

† Heb. *ddirmyg.*

5 Ac [b] na orchuddia eu hanwiredd hwynt, ac na ddileer eu pechod hwynt o'th ŵydd di: canys digiasant *dydi* ger bron yr adeiladwŷr.

[b] Psal. 69. 27, 28. a 109. 14, 15. Jer. 18. 23.

6 Felly nyni a adeiladasom y mur; a chyfannwyd yr holl fur hyd ei hanner: canys yr oedd gan y bobl galon i weithio.

7 ¶ Ond pan glybu Sanbàlat, a Thobïah, a'r Arabiaid, a'r Ammoniaid, a'r Asdodiaid, ‡ gwbl-gyweirio muriau Jerusalem, *a* dechreu cau'r adwyau; yna y llidiasant yn ddirfawr:

‡ Heb. *ddyrchafu o furiau.*

8 A hwynt oll a frad-fwriadasant ynghŷd i ddyfod i ymladd yn erbyn Jerusalem, ac § i'w rhwystro.

§ Heb *i wneuthur iddo amryfusedd.*

9 Yna y gweddïasom ar ein Duw, ac y gosodasom wyliadwriaeth yn eu herbyn hwynt ddydd a nos, o'u plegid hwynt.

10 A Judah a ddywedodd, Nerth y cludwŷr a wanhaodd, a phridd lawer *sydd*, fel na allwn ni adeiladu'r mur.

11 A'n gwrthwynebwŷr a ddywedasent, Ni chânt wybod, na gweled, nes i ni ddyfod i'w mysg hwynt, a'u lladd, a rhwystro eu gwaith hwynt.

12 A phan ddaeth yr Iuddewon oedd yn preswylio yn eu hymyl hwynt, dywed-

† Neu, *O bob lle y dychwelwch attom ni.* asant wrthym ddengwaith, † O'r holl
leoedd *trwy* y rhai y gallech ddychwelyd
attom ni, *y byddant arnoch chwi.*
13 ¶ Am hynny mi a osodais *rai* ‡ yn y
‡ Heb. *o fannau isaf y lle.* lleoedd isaf, o'r tu ol i'r mur, *ac* yn y lleoedd
uchaf, yn ol eu teuluoedd hefyd y gosodais
y bobl, â'u cleddyfau, *â'u* gwaywffyn, ac
â'u bwaau.
14 A mi a edrychais, ac a gyfodais, ac a
ddywedais wrth y pendefigion, a'r swydd-
ogion, ac wrth y rhan arall o'r bobl, Nac
ofnwch rhagddynt: cofiwch yr ARGLWYDD
mawr ac ofnadwy, ac ymleddwch dros eich
brodyr, eich meibion a'ch merched, eich
gwragedd a'ch tai.
15 A phan glybu ein gelynion fod *y peth*
yn hyspys i ni, Duw a ddiddymmodd eu
cyngor hwynt; a ninnau oll a ddychwel-
asom at y mur, bawb i'w waith.
16 Ac o'r dydd hwnnw, hanner fy ng-
weision oedd yn gweithio yn y gwaith, a'u
hanner hwynt oedd yn dal gwaywffyn, a
thariannau, a bwaau, a llurigau; a'r tywys-
ogion *oedd* ar ol holl dŷ Judah.
17 Y rhai oedd yn adeiladu ar y mur, ac
yn dwyn beichiau, a'r rhai oedd yn llwytho,
oeddynt ag un llaw yn gweithio yn y gwaith,
ac â'r *llaw* arall yn dal arf.
18 Canys pob un o'r adeiladwŷr oedd
§ Heb. *lwynau.* wedi gwregysu ei gleddyf ar ei § glun, ac
yn adeiladu: a'r hwn oedd yn lleisio mewn
udgorn *ydoedd* yn fy ymyl i.
19 ¶ A mi a ddywedais wrth y pendefig-
ion, ac wrth y swyddogion, ac wrth y rhan
arall o'r bobl, Y gwaith *sydd* fawr a helaeth,
a nyni a wasgarwyd ar hŷd y mur, ym mhell
oddi wrth eu gilydd.
20 Yn y fan lle y clywoch sain yr udgorn,
e Exod. 14. yno ymgesglwch attom. e Ein Duw ni a
14, 25. ymladd drosom.
Deut. 1. 30. 21 Felly 'r oeddem ni yn gweithio yn y
gwaith: a'u hanner hwynt yn dal gwayw-
ffyn, o gyfodiad y wawr hyd gyfodiad y ser.
22 Dywedais hefyd y pryd hynny wrth
y bobl, Lletted pob un â'i was yn Jerusa-
|| Neu, lem, fel y byddont i ni yn wyliadwriaeth y
*pob un ai* nos, a'r dydd *mewn* gwaith.
*â'i arf i'r dwfr.* 23 Felly myfi, a'm brodyr, a'm gweision,
Edrych a'r gwylwŷr *oedd* ar fy ol, ni ddiosgasom ein
Barn. 5. 11. dillad, || *ond* a ddiosgai pob un i'w golchi.

## PEN. V.

Mai 27. B. 1 *Yr Iuddewon yn cwyno rhag eu dyledion,*
*a'u prid, a'u caethiwed.* 6 *Nehemïah yn*
*ceryddu'r usurwŷr, ac yn peri iddynt roi'r*
*occr a'r prid yn ei ol:* 14 *yn maddeu ei*
*gynhaliaeth i'r bobl, ac yn cadw tŷ.*

445. AC yr oedd gweiddi mawr gan y bobl,
a'u gwragedd, yn erbyn yr Iuddewon
eu brodyr.
2 Canys yr oedd rhai yn dywedyd, *Y mae*
llawer o honom ni, ein meibion, a'n merch-
ed: am hynny yr ydym yn cymmeryd ŷd,
fel y bwyttaom, ac y byddom byw.
3 Yr oedd rhai hefyd yn dywedyd, Ein
meusydd, a'n gwinllannoedd, a'n tai, yr
ydym ni yn eu gwystlo, fel y prynom ŷd
rhag y newyn.
4 Ac yr oedd rhai *eraill* yn dywedyd, Ben-
thycciasom arian i *dalu* treth y brenhin, *a*
*hynny ar* ein tiroedd a'n gwinllannoedd.
a Esay 58. 5 Ac yn awr, a ein cnawd ni *sydd* fel
7. cnawd ein brodyr, ein plant ni fel eu plant
b Exod. 21. hwy: ac wele ni b yn darostwng ein meibion
7. a'n merched yn weision, ac y mae *rhai* o'n
merched ni wedi eu caethiwo, ac heb fod
gennym *i'w rhyddhâu;* canys gan eraill *y*
*mae* ein meusydd a'n gwinllannoedd hyn.
6 ¶ Yna y llidiais yn ddirfawr, pan glyw-
ais eu gwaedd hwynt, a'r geiriau hyn.
7 Fy nghalon hefyd a † feddyliodd ynof, † Heb.
a mi a ddwrdiais y pendefigion, a'r swydd- *ymgynghorodd.*
ogion, ac a ddywedais wrthynt, Yr ydych
chwi yn cymmeryd occraeth bob un gan ei
frawd. A gosodais yn eu herbyn hwynt
gynnulleidfa fawr.
8 Dywedais hefyd wrthynt, Nyni yn ol
ein gallu a c brynasom ein brodyr yr Iu- c Lef. 25.
ddewon, y rhai a werthasid i'r cenhedloedd; 48.
ac a ydych chwithau yn gwerthu eich
brodyr? neu a werthir hwynt i ni? Yna y
tawsant, ac ni chawsant air *i atteb.*
9 A mi a ddywedais, Nid da'r peth yr
ydych chwi yn ei wneuthur: oni ddylech
chwi rodio d mewn ofn ein Duw ni, o achos d Lef. 25.
gwaradwydd y cenhedloedd ein gelynion? 36.
10 Myfi hefyd, *a'm* brodyr, a'm llangciau,
ydym yn echwyno iddynt arian ac ŷd:
peidiwn, attolwg, â'r occraeth yma.
11 Rhoddwch, attolwg, iddynt heddyw
eu meusydd, eu gwinllannoedd, a'u hole-
wŷdd-lannoedd, a'u tai drachefn; a chanfed
*ran* yr arian, a'r ŷd, y gwin, a'r olew, yr
ydych chwi yn ei fynnu ganddynt.
12 Hwythau a ddywedasant, Nyni a'*u*
rhoddwn drachefn, ac ni cheisiwn *ddim*
ganddynt; felly y gwnawn fel yr ydwyt yn
llefaru. Yna y gelwais yr offeiriaid, ac e a'u e Jer. 34.
tyngais hwynt ar wneuthur yn ol y gair hwn. 8, 9.
13 A f mi a ysgydwais odre *fy ngwisg,* f Mat. 10.
ac a ddywedais, Felly 'r ysgydwo Duw 14.
bob gwr o'i dŷ, ac o'i lafur, yr hwn ni Act. 13. 51.
chwblhao y gair hwn, ac felly y byddo efe a 18. 6.
yn ysgydwedig, ac yn wag. A'r holl gyn-
nulleidfa a ddywedasant, Amen; ac a
foliannasant yr ARGLWYDD. A'r bobl a
wnaeth yn ol y gair hwn.
14 ¶ Ac o'r dydd y gosodwyd fi yn dy-
wysog iddynt hwy yngwlâd Judah, o'r ugein-
fed flwyddyn hyd y ddeuddegfed flwyddyn
ar hugain i Artaxerxes y brenhin, *sef* deu-
ddeng mlynedd, ni fwytteais i na'm brodyr
fara 'r tywysog.
15 Ond y tywysogion cyntaf, y rhai *a*
*fuasai* o'm blaen i, fuasent drymion ar y bobl,
ac a gymmerasent ganddynt fara a gwin,
heb law deugain sicl o arian; eu llangciau
hefyd a arglwyddiaethent ar y bobl: ond ni
wneuthum i felly, rhag ofn Duw.
16 Eithr myfi a gyweiriais *ran* yngwâith
y mur hwn, ac ni phrynasom *un* maes: a'm
holl weision i a ymgynnullasant yno at y
gwaith.
17 Ac *yr oedd* ar fy mwrdd i, o Iuddewon
ac o swyddogion, ddengwr a saith ugain, heb
law y rhai oedd yn dyfod attom ni o'r cen-
hedloedd y rhai *oedd* o'n hamgylch.
18 A'r hyn a arlwyid beunydd *oedd* un ŷch,
chwech o ddefaid dewisol, ac adar wedi eu
parottôi i mi; a phob deng niwrnod *y rhodd-*
*id* gwin o bob math, yn ddïamdlawd: ac er
hyn ni cheisiais fara'r tywysog; canys
trwm oedd y caethiwed ar y bobl yma.
19 g Cofia fi, O fy Nuw, er lles *i mi, yn* g Pen. 13.
*ol* yr hyn oll a wneuthum i'r bobl hyn. 22.

## PEN. VI.

1 *Sanbalat, trwy ddichellion, a chwedlau, a* Mai 27. P.
*brudiau gau, yn ceisio dychrynu Nehemïah.*
15 *Gorphen adeiladu Jerusalem; a hynny yn*
*ddychryn i'r gelynion.* 17 *Pendefigion Ju-*
*dah a'i gelynion yn deall cyfrinach eu gilydd.*

445. A Phan glybu Sanbàlat, a Thobïah, a
† *Gasmu, Adn. 6.* † Gesem yr Arabiad, a'r rhan arall
o'n gelynion, adeiladu o honof fi y mur, ac
nad oedd adwy wedi ei gadael ynddo;
ᵃ Pen. 3. 3. (ᵃ er na osodaswn i y pryd hynny y dorau
ar y pyrth)
2 Yna 'r anfonodd Sanbàlat a Gesem
attaf, gan ddywedyd, Tyred, ac ymgyfar-
fyddwn ynghŷd yn *un o'r* pentrefydd yng-
ᵇ 1 Chron. 8. 22. wastadedd ᵇ Ono. Ac yr oeddynt hwy yn
bwriadu gwneuthur niweid i mi.
3 Minnau a anfonais genhadau attynt
hwy, gan ddywedyd, Gwaith mawr *yr*
*ydwyf* fi yn *ei* wneuthur; o herwydd hynny
ni allaf ddyfod i wared: pa ham y safai 'r
gwaith, pan ymadàwn ag ef, a dyfod i wared
attoch chwi?
4 Etto hwy a anfonasant attaf fi yn y
wedd hon bedair gwaith; ac yn y modd
hwnnw yr attebais hwynt.
5 Yna Sanbàlat a anfonodd ei was attaf
fi y bummed waith yr un ffunud, â llythyr
agored yn ei law:
6 Ynddo 'r oedd yn ysgrifenedig, Ym
‡ *Gesem, Adn. 1.* mysg y cenhedloedd y mae 'r gair, a ‡ Gas-
mu sydd yn dywedyd, dy fod di a'r Iuddew-
on yn amcanu gwrthryfela: o herwydd
hynny dy fod di yn adeiladu 'r mur, fel
y byddit frenhin arnynt, yn ol y geiriau
hyn.
7 A'th fod dithau hefyd wedi gosod
prophwydi i bregethu am danat yn Jerusa-
lem, gan ddywedyd, *Y mae* brenhin yn Judah.
Ac yn awr y fath ymadroddion a hyn a glyw
y brenhin: gan hynny tyred yn awr, ac ym-
gynghorwn ynghŷd.
8 Yna 'r anfonais atto, gan ddywedyd,
Ni ddarfu yn ol yr ymadroddion hyn yr
ydwyt ti yn eu dywedyd; ond o'th ga-
lon dy hun yr ydwyt yn eu dychymygu
hwynt.
9 Oblegid hwynt-hwy oll oedd yn ceisio
ein hofni ni, gan ddywedyd, Eu dwylaw
hwy a laesant oddi wrth y gwaith, fel na's
gwneir ef. Gan hynny cryfhâ yn awr,
*O DDUW*, fy nwylaw i.
10 A mi a ddaethum i dŷ Semaiah mab
Delaiah, fab Mehetabeel, yr hwn *oedd* wedi
cau arno; ac efe a ddywedodd, Cyfarfydd-
wn yn nhŷ DDUW, a chauwn ddrysau 'r
deml: canys y maent yn dyfod i'th ladd di;
a lliw nos y deuant i'th ladd di.
11 Yna y dywedais, A ffŷ gwr o'm bath
i? neu pwy *sydd* fel myfi 'r hwn a elai i 'r
deml, fel y byddai byw? Nid af i mewn.
12 Ac wele, gwybûm nad Duw a'i han-
fonasai ef; ond llefaru o hono ef y brophwy-
doliaeth hon yn fy erbyn i: canys Tobïah a
Sanbàlat a'i cyflogasent ef.
13 O herwydd hyn y cyflogasid ef, fel y'm
hofnid i, ac y gwnawn felly, ac y pechwn;
ac y byddai *hynny* ganddynt yn enllib *i'm*
*herbyn*, fel y'm gwaradwyddent.
ᶜ Pen. 13. 29. 14 ᶜ O fy NUW, cofia Tobïah a Sanbàlat,
yn ol eu gweithredoedd hynny; a Noadïah
y brophwydes hefyd, a'r rhan arall o'r pro-
phwydi y rhai oedd yn fy nychrynu i.
15 ¶ A'r mur a orphenwyd ar y pummed
*dydd* ar hugain o Elul, mewn deuddeng
niwrnod a deugain.
Cylch 445. 16 A phan glybu ein holl elynion ni *hynny*,
a gweled o'r holl genhedloedd y rhai *oedd*
o'n hamgylch, hwy a ofnasant, ac a lwfr-
hasant yn ddirfawr ynddynt eu hun: canys
gwybuant mai trwy ein Duw ni y gwnelsid
y gwaith hwn.

17 ¶ Ac yn y dyddiau hyn pendefigion
Judah oedd yn mynych-ddanfon eu llythy-
rau at Tobïah; a'r eiddo Tobïah oedd yn
dyfod attynt hwythau.
18 Canys *yr oedd* llawer yn Judah mewn
cyngrair ag ef; o herwydd § daw *oedd* efe i § *mab*
Sechanïah fab Arah; a Johanan ei fab ef a *ynghyf-*
gymmerasai ferch Mesùlam fab Berechïah *raith.*
*yn wraig iddo.*
19 A'i gymmwynasau ef y byddent hwy
yn eu mynegi ger fy mron i; ‖ fy ngeiriau ‖ Neu,
innau hefyd y byddent yn eu hadrodd iddo. *fy mat-*
yntau. A Thobïah a anfonodd lythyrau i'm *terion.*
dychrynu i.

## PEN. VII.

1 *Nehemïah yn gorchymyn Jerusalem i Hanani a Hananïah.* 5 *Llyfr achau y rhai a ddaeth gyntaf allan o Babilon,* 8 *o'r bobl,* 39 *a'r offeiriaid,* 43 *a'r Lefiaid,* 46 *a'r Nethiniaid,* 57 *a gweision Salomon,* 63 *yr offeiriaid ni fedrent gael eu hachau.* 66 *Rhifedi 'r cwbl, a'u golud,* 70 *a'u hoffrymmau.*

AC wedi adeiladu 'r mur, a chyfodi o Cylch
honof y dorau, a gosod y porthorion, 445.
a'r cantorion, a'r Lefiaid;
2 Yna mi a orchymynais i Hanani fy
mrawd, ac i Hananïah tywysog y palas yn
Jerusalem (canys efe *oedd* wr ffyddlon, ac
yn ofni Duw yn fwy nâ llawer)
3 A mi a ddywedais wrthynt, Nac agorer
pyrth Jerusalem nes gwresogi 'r haul; a thra
fyddont hwy yn sefyll yno, cauant y drys-
au, a phreniant: a mi a osodais wylwŷr o
drigolion Jerusalem, pob un yn ei wyliad-
wriaeth, a phob un ar gyfer ei dŷ.
4 A'r ddinas *oedd* ehang a mawr; ac
ychydig bobl ynddi: a'r tai *nid oeddynt*
wedi eu hadeiladu.
5 ¶ A'm Duw a roddodd yn fy nghalon
gynnull y pendefigion, y tywysogion hefyd,
a'r bobl, i'w cyfrif wrth eu hachau. A
mi a gefais lyfr achau y rhai a ddaethai i
fynu yn gyntaf, a chefais yn ysgrifenedig
ynddo,
6 ᵃ Dyma feibion y dalaith, y rhai a Cylch
ddaeth i fynu o gaethiwed y gaeth-glud a 536.
gaeth-gludasai Nebuchodonosor brenhin Ba- ᵃ Ezra 2.
bilon, ac a ddychwelasant i Jerusalem, ac i 1, &c.
Judah, pob un i'w ddinas ei hun;
7 Y rhai a ddaethant gyd â Zorobabel:
Jesua, Nehemïah, † Azarïah, Raamïah, Na- † Neu,
hamani, Mordechai, Bilsan, Mispereth, Big- *Seraiah,*
fai, Nehum, Baanah. *Dyma* rifedi dynion Edrych
pobl Israel; Ezra 2. 2.
8 Meibion Paros, dwy fil cant a deuddeg
a thrugain.
9 Meibion Sephatïah, tri chant a deuddeg
a thrugain.
10 Meibion Arah, chwe chant a deuddeg
a deugain.
11 Meibion Pahath-moab, o feibion Jesua
a Joab, dwy fil ac wyth gant *a* thri ar bym-
theg.
12 Meibion Elam, mil dau cant a phed-
war ar ddeg a deugain.
13 Meibion Zattu, wyth gant a phump a
deugain.
14 Meibion Zaccai, saith gant a thri
ugain.
15 Meibion ‡ Binnui, chwe chant ac wyth ‡ Neu,
a deugain. *Bani.*
16 Meibion Bebai, chwe chant ac wyth ar
hugain.
17 Meibion Azgad, dwy fil tri chant a
dau ar hugain.

18 Meibion Adonicam, chwe chant a saith a thrugain.

19 Meibion Bigfai, dwy fil a saith a thrugain.

20 Meibion Adin, chwe chant a phymtheg a deugain.

21 Meibion Ater o Hezecïah, tri ar bymtheg a phedwar ugain.

22 Meibion Hasum, tri chant ac wyth ar hugain.

23 Meibion Besai, tri chant a phedwar ar hugain.

24 Meibion † Hariph, cant a deuddeg.

25 Meibion ‡ Gibeon, pymtheg a phedwar ugain.

† Neu, *Jora.*
‡ Neu, *Gibbar.*

26 Gwŷr Bethlehem a Netophah, cant ac wyth a phedwar ugain.

27 Gwŷr Anathoth, cant ac wyth ar hugain.

28 Gwŷr § Beth-azmafeth, dau a deugain.

29 Gwŷr || Ciriath-jearim, Cephirah, a Beeroth, saith gant a thri a deugain.

§ Neu, *Azmafeth.*
|| Neu, *Ciriath-arim.*

30 Gwŷr Ramah a Gaba, chwe chant ac un ar hugain.

31 Gwŷr Michmas, cant a dau ar hugain.

32 Gwŷr Bethel ac Ai, cant a thri ar hugain.

33 Gwŷr Nebo arall, deuddeg a deugain.

34 Meibion [b] Elam arall, mil dau cant a phedwar ar ddeg a deugain.

b Edrych adn. 12.

35 Meibion Harim, tri chant ac ugain.

36 Meibion Jericho, tri chant a phump a deugain.

37 Meibion Lod, Hadid, ac Ono, saith gant ac un ar hugain.

38 Meibion Senaah, tair mil naw cant a deg ar hugain.

39 ¶ Yr offeiriaid: meibion [c] Jedaiah, o dŷ Jesua, naw cant a thri ar ddeg a thri ugain.

c 1 Chron. 24. 7.

40 Meibion [d] Immer, mil a deuddeg a deugain.

d 1 Chron. 24. 14.

41 Meibion [e] Pasur, mil dau cant a saith a deugain.

e Edrych 1 Chron. 9. 12. a 24. 9.

42 Meibion [f] Harim, mil a dau ar bymtheg.

f 1 Chron. 24. 8.

43 ¶ Y Lefiaid: meibion Jesua, o Cadmiel, *ac* o feibion † Hodefah, pedwar ar ddeg a thrugain.

† Neu, *Hodafiah,* Ezra 2. 40. neu, *Judah,* Ezra 3. 9.

44 ¶ Y cantorion: meibion Asaph, cant ac wyth a deugain.

45 ¶ Y porthorion: meibion Sàlum, meibion Ater, meibion Talmon, meibion Accub, meibion Hatita, meibion Sobai, cant a thri ar bymtheg ar hugain.

46 ¶ Y Nethiniaid: meibion Siha, meibion Hasupha, meibion Tabbaoth,

47 Meibion Ceros, meibion Sïa, meibion Padon,

48 Meibion Lebanah, meibion Hagaba, meibion Salmai,

49 Meibion Hanan, meibion Gìdel, meibion Gahar,

50 Meibion Reaiah, meibion Resin, meibion Necoda,

51 Meibion Gazzam, meibion Uzza, meibion Phaseah,

52 Meibion Besai, meibion Meunim, meibion Nephisesim,

53 Meibion Bacbuc, meibion Hacupha, meibion Harhur,

54 Meibion Baslith, meibion Mehida, meibion Harsa,

55 Meibion Barcos, meibion Sisera, meibion Thamah,

56 Meibion Nesïah, meibion Hatipha.

57 ¶ Meibion gweision Salomon: meibion Sotai, meibion Sophereth, meibion Perida,

58 Meibion Jaala, meibion Darcon, meibion Gìdel,

59 Meibion Sephatïah, meibion Hattil, meibion Pochereth o Sebaim, meibion ‡ Amon.

‡ Neu, *Ami.*

60 Yr holl Nethiniaid, a meibion gweision Salomon, *oedd* dri chant a deuddeg a phedwar ugain.

61 [g] A'r rhai hyn a ddaethant i fynu o Tel-melah, Tel-haresa, Cerub, Adon, ac Immer: ond ni fedrent ddangos tŷ eu tadau, na'u § hiliogaeth, ai o Israel *yr oeddynt.*

g Ezra 2. 59.
§ Neu, *hachau.*

62 Meibion Delaiah, meibion Tobïah, meibion Necoda, chwe chant a dau a deugain.

63 ¶ Ac o'r offeiriaid: meibion Habaiah, meibion Cos, meibion Barzìlai, yr hwn a gymmerth *un* o ferched Barzìlai y Gileadiad yn wraig, ac a alwyd ar eu henw hwynt.

64 Y rhai hyn a geisiasant eu hysgrifen *ym mhlith* yr achau, ond ni's cafwyd: am hynny y || bwriwyd hwynt allan o'r offeiriadaeth.

|| Heb. *halogwyd.*

65 A'r † Tirsatha a ddywedodd wrthynt, na fwyttâent o'r pethau sancteiddiolaf, hyd oni chyfodai offeiriad ag Urim ac â Thummim.

† Neu, *llywydd.*

66 ¶ Yr holl gynnulleidfa ynghŷd *oedd* ddwy fil a deugain tri chant a thrugain.

67 Heb law eu gweision hwynt a'u morwynion, y rhai hynny *oedd* saith mil tri chant a dau ar bymtheg ar hugain: a chanddynt hwy *yr oedd* dau cant a phump a deugain o gantorion ac o gantoresau.

68 Eu meirch hwynt *oedd* saith gant ac un ar bymtheg ar hugain; a'u mulod yn ddau cant a phump a deugain;

69 Y camelod *oedd* bedwar cant a phymtheg ar hugain; yr asynod *oedd* chwe mil saith gant ac ugain.

70 ¶ A ‡ rhai o'r tadau pennaf a roddasant tu ag at y gwaith. [h] Y Tirsatha a roddodd i'r trysor fil o ddracmonau aur, deg a deugain o phïolau, pum cant a deg ar hugain o wisgoedd offeiriaid.

‡ Heb. *rhan.*
h Pen. 8. 9.

71 A *rhai* o'r tadau pennaf a roddasant i drysor y gwaith ugain mil o ddracmonau aur, a dwy fil a deucant o bunnau o arian.

72 A'r hyn a roddodd y rhan arall o'r bobl *oedd* ugain mil o ddracmonau aur, a dwy fil o bunnau yn arian, a saith a thrugain o wisgoedd offeiriaid.

73 A'r offeiriaid, a'r Lefiaid, a'r porthorion, a'r cantorion, a *rhai* o'r bobl, a'r Nethiniaid, a holl Israel, a drigasant yn eu dinasoedd. A phan ddaeth y seithfed mis, *yr oedd* meibion Israel yn eu dinasoedd. Cylch 536.

## PEN. VIII.

1 *Duwiol arfer gwrando a darllen y gyfraith.* 9 *Nehemïah, ac Ezra, a'r Lefiaid, yn cysuro'r bobl.* 13 *Parodrwydd y bobl i wrando, ac i ddysgu.* 16 *Cadw gwyl y pebyll.* Mai 28. B

A'R holl [a] bobl a ymgasglasant o un fryd i'r heol *oedd* o flaen [b] porth y dwfr, ac a ddywedasant wrth Ezra [c] yr ysgrifenydd, am ddwyn llyfr cyfraith Moses, yr hon a orchymynasai'r ARGLWYDD i Israel. Cylch 445.

a Ezra 3. 1.
b Pen. 3. 26.
c Ezra 7. 6.

2 Ac Ezra yr offeiriad a ddug y gyfraith o flaen y gynnulleidfa o wŷr, a gwragedd, a phawb a'r a oedd yn † medru gwrando yn ddeallus, ar y dydd cyntaf o'r seithfed mis.

† Heb. *deall.*

3 Ac efe a ddarllenodd ynddo ar wyneb yr heol *oedd* o flaen porth y dwfr, o'r † bore hyd hanner dydd, ger bron y gwŷr, a'r gwragedd, a'r rhai oedd yn medru deall: a chlustiau'r holl bobl *oedd yn gwrando* ar lyfr y gyfraith.

† Heb. *goleu.*

4 Ac Ezra'r ysgrifenydd a safodd ar ‡ bulpud o goed, yr hwn a wnelsid i'r peth *hyn*; a chyd ag ef y safodd Mattithïah, a Sema, ac Anaiah, ac Uriah, a Hilciah, a Maaseiah, ar ei law ddehau ef; a Phedaiah, a Misael, a Malchïah, a Hasum, a Hasbadanah, Zecharïah, *a* Mesùlam, ar ei law aswy ef.

‡ Heb. *twr.*

5 Ac Ezra a agorodd y llyfr § yngŵydd yr holl bobl (canys yr oedd efe oddi ar yr holl bobl) a phan agorodd, yr holl bobl a safasant.

§ Heb. *yngolwg.*

6 Ac Ezra a fendithiodd yr ARGLWYDD y Duw mawr. A'r holl bobl a attebasant, Amen, Amen, gan ddyrchafu eu dwylaw: a hwy a ymgrymmasant, ac a addolasant yr ARGLWYDD *â'u* hwynebau *tu a*'r ddaear.

7 Jesua hefyd, a Bani, Serebïah, Jamin, Accub, Sabbethai, Hodïah, Maaseiah, Celita, Azarïah, Jozabad, Hanan, Pelaiah, a'r Lefiaid, oedd yn dysgu y gyfraith i'r bobl, a'r bobl yn sefyll yn eu lle.

8 A hwy a ddarllenasant yn eglur yn y llyfr, ynghyfraith DUW; gan osod *allan* y synwyr, fel y deallent wrth ddarllen.

9 ¶ A Nehemïah, efe *yw* y ‖ Tirsatha, ac Ezra yr offeiriad *a'r* ysgrifenydd, a'r Lefiaid y rhai oedd yn dysgu'r bobl, a ddywedasant wrth yr holl bobl, [d] *Y mae* heddyw yn sanctaidd i'r ARGLWYDD eich Duw; [e] na alerwch, ac na wylwch: canys yr holl bobl oedd yn wylo pan glywsant eiriau'r gyfraith.

‖ *Uwcydd,* Ezra 2. 63. Pen. 10. 1.
d Num. 29. 1.
e Deut. 16. 14, 15.

10 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch, bwyttêwch y breision, ac yfwch y melysion, ac [f] anfonwch rannau i'r hwn nid *oes* ganddo *ddim* yn barod; canys *y mae* heddyw yn sanctaidd i'n Harglwydd: am hynny na thristêwch; canys llawenydd yr ARGLWYDD yw eich nerth chwi.

f Est. 9. 19, 22. Dat. 11. 10.

11 A'r Lefiaid a ostegasant yr holl bobl, gan ddywedyd, Tewch: canys y dydd heddyw *sydd* sanctaidd, ac na thristêwch.

12 A'r holl bobl a aethant i fwytta ac i yfed, ac i anfon ymaith rannau, ac i wneuthur llawenydd mawr; o herwydd iddynt ddeall y geiriau a ddysgasent hwy iddynt.

13 ¶ A'r ail dydd, tadau pennaf yr holl bobl, yr offeiriaid, a'r Lefiaid, a ymgynnullasant at Ezra yr ysgrifenydd, † i'w dysgu yngeiriau y gyfraith.

† Neu, *i ddysgu.*

14 A hwy a gawsant yn ysgrifenedig yn y gyfraith, yr hyn a orchymynasai'r ARGLWYDD trwy law Moses, [g] y dylai meibion Israel drigo mewn bythod ar wyl y seithfed mis;

g Lef. 23. 34. Deut. 16. 13.

15 Ac [h] y dylent gyhoeddi, a gyrru gair trwy eu holl ddinasoedd, a thrwy Jerusalem, gan ddywedyd, Ewch i'r mynydd, a dygwch ganghennau olewŷdd, a changau pinwŷdd, a changau'r myrtwŷdd, a changau'r palmwŷdd, a changhennau o'r prennau cauad-frig, i wneuthur bythod, fel *y mae* yn ysgrifenedig.

h Lef. 23. 4.

16 ¶ Felly y bobl a aethant allan, ac a'*u* dygasant, ac a wnaethant iddynt fythod, bob un ar ei nen, ac yn eu cynteddoedd, ac ynghynteddoedd tŷ DUW, ac yn heol porth y dwfr, ac yn heol porth Ephraim.

17 A holl gynnulleidfa'r rhai a ddychwelasent o'r caethiwed, a wnaethant fythod, ac a eisteddasant yn y bythod: canys er dyddiau Jesua fab Nun hyd y dydd hwnnw ni wnaethai meibion Israel felly. Ac yr oedd llawenydd mawr iawn.

18 Ac Ezra a ddarllenodd yn llyfr cyfraith DUW [i] beunydd, o'r dydd cyntaf hyd y dydd diweddaf. A hwy a gynhaliasant yr wyl saith niwrnod; ac ar yr wythfed dydd *y bu* ‡ cymmanfa, [k] yn ol y ddefod.

i Deut. 31. 10, &c.
‡ Heb. *gwaharddiad.*
k Lef. 23. 36.

## PEN. IX.

*1 Ympryd cyhoedd, ac edifeirwch y bobl. 4 Y Lefiaid yn gwneuthur duwiol gyffes o ddaioni Duw, a drygioni'r bobl.*

Mai 28. P.

445.

AC ar y pedwerydd dydd ar hugain o'r [a] mis hwn, meibion Israel a ymgynnullasant mewn ympryd, ac mewn sachliain, a [b] phridd arnaddynt.

a Pen. 8. 2.
b Jos. 7. 6. Job 2. 12.

2 A [c] had Israel a ymneillduasant oddi wrth bob † dïeithriaid, ac a safasant ac a gyffesasant eu pechodau, ac anwireddau eu tadau.

c Ezra 10. 11. Pen. 13. 3, 10.
† Heb. *meibion dieithr.*

3 A chodasant i fynu yn eu lle, ac [d] a ddarllenasant yn llyfr cyfraith yr ARGLWYDD eu Duw, bedair gwaith yn y dydd; a phedair gwaith yr ymgyffesasant, ac yr ymgrymmasant i'r ARGLWYDD eu Duw.

d Pen. 8. 7, 8.

4 ¶ Yna y safodd ‡ ym mhulpud y Lefiaid, Jesua, a Bani, Cadmiel, Sebanïah, Bunni, Serebïah, Bani, *a* Chenani; a gwaeddasant â llef uchel ar yr ARGLWYDD eu Duw:

‡ Neu, *ynghrisiau.* Heb. *esgynfa.*

5 A'r Lefiaid, Jesua, a Cadmiel, Bani, Hasabnïah, Serebïah, Hodïah, Sebanïah, a Phethahïah, a ddywedasant, Cyfodwch, bendithiwch yr ARGLWYDD eich Duw o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb: a bendithier dy enw gogoneddus a dyrchafedig, goruwch pob bendith a moliant.

6 Ti yn unig wyt ARGLWYDD: [e] ti a wnaethost y nefoedd, [f] nefoedd y nefoedd, a'u [g] holl luoedd hwynt, y ddaear a'r hyn oll *sydd* arni, y moroedd a'r hyn oll *sydd* ynddynt; a thi sydd yn eu cynnal hwynt oll; a llu'r nefoedd sydd yn ymgrymmu i ti.

e Gen. 1. 1. Dat. 14. 7.
f Deut. 10. 14. 1 Bren. 8. 27.
g Gen. 2. 1.

7 Ti *yw*'r ARGLWYDD DDUW, yr hwn a ddetholaist [h] Abram, ac a'i dygaist ef allan o Ur y Caldeaid, ac a roddaist iddo enw [i] Abraham:

h Gen. 11. 31. a 12. 1.
i Gen. 17. 5.

8 A chefaist ei galon ef [k] yn ffyddlon ger dy fron di, ac a wnaethost [l] gyfammod ag ef, ar roddi'n ddïau i'w had ef wlad y Canaaneaid, yr Hefiaid, yr Amoriaid, a'r Phereziaid, a'r Jebusiaid, a'r Girgasiaid; ac a gwblheaist dy eiriau: o herwydd cyfiawn *wyt*.

k Gen. 15. 6.
l Gen. 12. 7. a 15. 18. a 17. 7, 8.

9 [m] Gwelaist hefyd gystudd ein tadau yn yr Aipht, a thi [n] a wrandewaist eu gwaedd hwynt wrth y môr coch:

m Exod. 2. 25. a 3. 7.
n Exod. 14. 10.

10 A thi [o] a wnaethost arwyddion a rhyfeddodau ar Pharaoh, ac ar ei holl weision, ac ar holl bobl ei wlad ef: canys gwybuost i'r rhai hyn falchïo yn eu herbyn hwynt. A gwnaethost it' enw, fel *y gwelir* y dydd hwn.

o Exod. 7, 8, 9, 10, 11, 12, a 14. Pennod.

11 [p] Y môr hefyd a holltaist o'u blaen hwynt, fel y treiddiasant trwy ganol y môr ar hŷd sychdir; a'u herlidwŷr a fwriaist i'r gwaelod, [q] fel maen i ddyfroedd cryfion:

p Exod. 14. 21, 22.
q Exod. 15. 5, 10.

12 Ac [r] a'u harweiniaist hwy liw dydd mewn colofn gwmmwl, a lliw nos mewn

r Exod. 13. 21.

colofn dân, i oleuo iddynt hwy y ffordd
yr oeddynt yn myned ar hyd-ddi.
13 [s] Ti a ddisgynaist hefyd ar fynydd
Sinai, ac a ymddiddenaist â hwynt o'r nef-
oedd; rhoddaist hefyd iddynt farnedigaeth-
au uniawn, a chyfreithiau † gwir, deddf-
au a gorchymynion daionus:
14 A'th Sabboth sanctaidd a hyspysaist
iddynt; gorchymynion hefyd, a deddfau,
a chyfreithiau a orchymynaist iddynt, trwy
law Moses dy was:
15 [t] Bara hefyd o'r nefoedd a roddaist
iddynt yn eu newyn, a [u] dwfr o'r graig a
dynnaist iddynt yn eu syched; a thi a ddy-
wedaist wrthynt, [x] y deuent i etifeddu'r
wlad a ‡ dyngasit ar *ei* rhoddi iddynt.
16 Ond hwynt-hwy a'n tadau ni a falchï-
asant, ac a galedasant eu gwarrau, ac ni
wrandawsant ar dy orchymynion di;
17 Ac a wrthodasant wrando, ac ni chof-
iasant dy ryfeddodau, y rhai a wnelsit ti
erddynt; caledasant hefyd eu gwarrau, a
gosodasant [y] ben arnynt i ddychwelyd i'w
caethiwed yn eu cyndynrwydd: etto ti
*ydwyt* § Duw parod i faddeu, [z] graslawn,
a thrugarog, hwyrfrydig i ddigter, ac aml o
drugaredd, ac ni wrthodaist hwynt.
18 Hefyd, [a] pan wnaethent iddynt lo
toddedig, a dywedyd, Dyma dy dduw di
yr hwn a'th ddug di i fynu o'r Aipht, a
chablasent yn ddirfawr;
19 Er hynny, yn dy aml dosturiaethau, ni
adewaist ti hwynt yn yr anialwch: [b] y
golofn gwmmwl ni chiliodd oddi wrthynt
trwy'r dydd, i'w harwain hwynt ar hŷd
y ffordd; na'r golofn dân trwy'r nos, i
oleuo iddynt, ac i ddangos y ffordd y cerdd-
ent ynddi.
20 Dy [c] yspryd daionus hefyd a roddaist
i'w dysgu hwynt, ac nid atteliaist dy [d] fan-
na rhag eu genau; [e] dwfr hefyd a roddaist
iddynt yn eu syched.
21 Felly [f] deugain mlynedd y porthaist
hwynt yn yr anialwch, heb fod arnynt
eisiau *dim:* eu [g] gwisgoedd ni heneiddias-
ant, a'u traed ni chwyddasant.
22 A thi a roddaist iddynt frenhin-
iaethau a phobloedd, a rhennaist hwynt i
gonglau. Felly hwy a feddianasant wlad
[h] Sihon, a gwlad brenhin Hesbon, a gwlad
Og brenhin Basan.
23 [i] Llïosogaist hefyd eu meibion hwynt
fel ser y nefoedd, ac a'u dygaist hwynt i'r
wlad a ddywedasit wrth eu tadau y deuent
iddi i'*w* meddiannu.
24 Felly [k] y meibion a aethant i mewn,
ac a feddianasant y wlad, a thi a ddaro-
styngaist drigolion y wlad, y Canaaneaid,
o'u blaen hwynt, ac a'u rhoddaist yn eu
llaw hwynt, eu brenhinoedd hefyd, a
phobloedd y wlad, fel y gwnaent iddynt
yn ol eu hewyllys.
25 A hwy a ynnillasant ddinasoedd ce-
dyrn, a daear fras, ac a feddianasant dai
llawn o bob daioni, pydewau cloddiedig,
gwin-llannoedd, ac olewŷdd-lannoedd, a
choed || ffrwythlawn yn aml; a hwy a
fwyttasant, ac a ddigonwyd, ac [l] a fras-
awyd, ac a ymhyfrydasant yn dy fawr
ddaioni di.
26 Etto hwy a anufuddhasant, ac a wrth-
ryfelasant yn dy erbyn, [m] taflasant hefyd
dy gyfraith o'r tu ol i'w cefn, [n] a'th bro-
phwydi a laddasant, y rhai a dystiolaeth-
asent wrthynt am ddychwelyd attat; ac
a gablasant yn ddirfawr.

[s] Exod. 19. 20. a 20. 1. † Heb. *gwirionedd.* [t] Exod. 16. 14, 15. [u] Exod. 17. 16. Num. 20. 9, &c. [x] Deut. 1. 8. ‡ Heb. *codasit dy law,* Num. 14. 30. [y] Num. 14. 4. § Heb. *Duw y maddeuant.* [z] Exod. 34. 6. Num. 14. 18. Psal. 86. 5, 15. [a] Exod. 32. 4. [b] Exod. 13. 22. Num. 14. 14. 1 Cor. 10. 1. [c] Num. 11. 17. Esay 63. 11. [d] Exod. 16. 15. Jos. 5. 12. [e] Exod. 17. 6. [f] Deut. 2. 7. [g] Deut. 8. 4. a 29. 5. [h] Num. 21. 21, &c. [i] Gen. 22. 17. [k] Jos. 1. 2, &c. || Heb. *ymborth.* [l] Deut. 32. 15. [m] 1 Bren. 14. 9. [n] 1 Bren. 18. 4. a 19. 10. 2 Chron. 24. 20, 21.



27 [o] Am hynny ti a'u rhoddaist hwynt yn
llaw eu gorthrymwŷr, y rhai a'u cystudd-
iasant: ac yn amser eu cyfyngdra, pan
waeddasant arnat, a'u gwrandewaist *hwynt*
o'r nefoedd, ac yn ol dy aml dosturiaethau
rhoddaist iddynt achubwŷr, y rhai a'u ha-
chubasant o law eu gwrthwynebwŷr.
28 Ond pan lonyddodd arnynt, dychwel-
asant i wneuthur drygioni yn dy ŵydd di:
am hynny y gadewaist hwynt yn llaw eu
gelynion, y rhai a arglwyddiaethasant ar-
nynt: etto pan ddychwelasant, a gwaeddi
arnat, tithau o'r nefoedd a wrandewaist,
ac a'u gwaredaist hwynt, yn ol dy dostur-
iaethau, lawer o amseroedd.
29 A thi a dystiolaethaist yn eu herbyn
hwynt, i'w dychwelyd at dy gyfraith di:
ond hwy a falchïasant, ac ni wrandawsant
ar dy orchymynion, eithr pechasant yn er-
byn dy farnedigaethau ([p] y rhai *os* gwna
dyn *hwynt,* efe fydd byw ynddynt) a
† gwnaethant ysgwydd i gilio, ac a galeda-
sant eu gwarrau, ac ni wrandawsant.
30 Er hynny ti a'u hoedaist hwynt fly-
nyddoedd lawer, ac a dystiolaethaist [q] wrth-
ynt trwy dy yspryd ‡ [r] yn dy brophwydi;
ond ni wrandawsant: am hynny y rhodd-
aist hwynt yn llaw pobl y gwledydd.
31 Etto, er mwyn dy fawr drugareddau,
[s] ni lwyr-ddifethaist hwynt, ac ni wrthod-
aist hwynt; canys Duw graslawn a thru-
garog *ydwyt.*
32 Ac yn awr, O ein Duw ni, y Duw
mawr, [t] cadarn, ac ofnadwy, yr hwn *wyt*
yn cadw cyfammod a thrugaredd; na fydd-
ed bychan o'th flaen di yr holl flinder § a
ddigwyddodd i ni, i'n brenhinoedd, i'n
tywysogion, ac i'n hoffeiriaid, ac i'n pro-
phwydi, ac i'n tadau, ac i'th holl bobl, er
dyddiau brenhinoedd Assyria hyd y dydd
hwn.
33 [u] Tithau *ydwyt* gyfiawn yn yr hyn
oll a ddigwyddodd i ni: canys gwirionedd
a wnaethost ti, a ninnau a wnaethom yn
annuwiol.
34 Ein brenhinoedd hefyd, ein tywysog-
ion, ein hoffeiriaid, a'n tadau, ni chadw-
asant dy gyfraith, ac ni wrandawsant ar
dy orchymynion, na'th dystiolaethau y rhai
a dystiolaethaist wrthynt.
35 A hwy ni'th wasanaethasant yn eu
brenhiniaeth, nac yn dy fawr ddaioni a
roddaist iddynt, nac yn y wlad ehang a
bras yr hon a osodaist o'u blaen hwynt;
ac ni ddychwelasant oddi wrth eu drwg
weithredoedd.
36 Wele ni heddyw yn weision; ac *am* y
wlad a roddaist i'n tadau ni, i fwytta ei
ffrwyth a'i daioni, wele ni yn weision ynddi.
37 A mawr yw ei thoreth hi i'r brenhin-
oedd a osodaist arnom ni am ein pechod-
au: ac arglwyddiaethu y maent ar ein
cyrph, ac ar ein hanifeiliaid, yn ol eu hewy-
llys; ac *yr ydym* mewn cyfyngder mawr.
38 Ac o herwydd hyn oll yr ydym yn
gwneuthur *cyfammod* sicr, ac yn *ei* 'sgrif-
ennu; ac *y mae* ein tywysogion, ein Lefiaid,
a'n hoffeiriaid, || yn *ei* selio.

## PEN. X.

1 *Enwau y rhai a seliasant y cyfammod rhwng Duw a'r bobl.* 29 *Pyngciau'r cyfammod.* Mai 29. B.

445.

A'R rhai † a seliodd *oedd,* Nehemïah y
Tirsatha, mab Hachalïah, a Sidcïah,
2 [a] Seraiah, Azarïah, Jeremïah,
3 Pasur, Amarïah, Malchïah,

[o] Barn. 2. 14. a 3, 8, &c. [p] Lef. 18. 5. † Heb. *rhoddasant,* Zech. 7. 11. [q] 2 Bren. 17. 13. ‡ Heb. *yn llaw.* [r] Edrych Act. 7. 51. 1 Petr 1. 11. [s] Jer. 4. 27. [t] Exod. 34. 6, 7. § Heb. *a'n cafodd, neu, a'n goddiweddodd.* [u] Dan. 9. 14. || Heb. *wrth,* neu, *wedi ei selio.* † Heb. *oedd wrth selio.* [a] Edrych Pen. 12. 1–21.

4 Hattus, Sebanïah, Màluch,
5 Harim, Meremoth, Obadïah,
6 Daniel, Ginnethon, Baruch,
7 Mesùlam, Abiah, Mihamin,
8 Maaziah, Bilgai, Semaiah: dyma'r offei-
riaid.
9 A'r Lefiaid: Jesua mab Azanïah, Bin-
nui o feibion Henadad, Cadmiel;
10 A'u brodyr hwynt; Sebaniah, Hodïah,
Celita, Pelaiah, Hanan,
11 Micha, Rehob, Hasabïah,
12 Zaccur, Serebiah, Sebaniah,
13 Hodiah, Bani, Beninu.
b Edrych Ezra 2. 3, &c. Pen. 7. 8, &c. 14 Pennaethiaid y bobl; b Paros, Pahath-
moab, Elam, Zattu, Bani,
15 Bunni, Azgad, Bebai,
16 Adonïah, Bigfai, Adin,
17 Ater, Hizciah, Azzur,
18 Hodïah, Hasum, Besai,
19 Hariph, Anathoth, Nebai,
20 Magpias, Mesùlam, Hezir,
21 Mesezabeel, Sadoc, Jàdua,
22 Pelatïah, Hanan, Anaiah,
23 Hosea, Hananïah, Hasub,
24 Hàlohes, Pileha, Sobec,
25 Rehum, Hasabnah, Maasciah,
26 Ac Ahïah, Hanan, Anan,
27 Màluch, Harim, Baanah.
c Ezra 2. 28 ¶ c A'r rhan arall o'r bobl, yr offei-
riaid, y Lefiaid, y porthorion, y cantorion,
y Nethiniaid, a phawb a'r a ymneillduasent
oddi wrth bobl y gwledydd at gyfraith
Duw, eu gwragedd hwynt, eu meibion,
a'u merched, pawb a'r a oedd â gwy-
bodaeth ac â deall ganddo:
29 Hwy a lynasant wrth eu brodyr, eu
d Psal. 119. 106. pennaethiaid, ac d a aethant mewn rhaith
a llw ar rodio ynghyfraith Duw, yr hon a
roddasid trwy law Moses gwas Duw: ac ar
gadw ac ar wneuthur holl orchymynion
yr Arglwydd ein Harglwydd ni, a'i
farnedigaethau, a'i ddeddfau:
e Exod. 34. 16. 30 Ac ar e na roddem ein merched i bobl
Deut. 7. 3. y wlad: ac na chymmerem eu merched
hwy i'n meibion ni:
f Exod. 20. 10. 31 f Ac o byddai pobl y tir yn dwyn
marchnadoedd, neu ddim lluniaeth ar y
Lef. 23. 3. Deut. 5. 12. dydd Sabboth i'w werthu, na phrynem
Pen. 13. 15, &c. ddim ganddynt ar y Sabboth, neu ar y dydd
sanctaidd; ac y gadawem heibio g y seith-
g Exod. 23. 10, 11. fed flwyddyn, a h chodi pob † dyled.
Lef. 25. 4. 32 A ni a osodasom arnom ddeddfau, ar
h Deut. 15. 2. i ni roddi traian sicl yn y flwyddyn, tu ag
at wasanaeth tŷ ein Duw ni,
† Heb. llaw. 33 A thu ag at i y bara gosod, a'r bwyd-
offrwm gwastadol, a thu ag at y poeth-
i Lef. 24. 5, &c. offrwm gwastadol, k y Sabbothau, y ne-
2 Chron. 2. 4. wydd-loerau, a'r gwyliau arbennig, a thu
ag at y cyssegredig bethau, a thu ag at y
k Edrych Num. 28, a 29. pech-ebyrth, i wneuthur cymmod dros Is-
rael; a thu ag at holl waith tŷ ein Duw.
34 A ni a fwriasom goel-brennau'r offei-
l Pen. 13. 31. riaid, y Lefiaid, a'r bobl, am l goed yr
offrwm, fel y dygent hwynt i dŷ ein Duw
ni, yn ol tai ein tadau ni, ar amserau
nodedig, o flwyddyn i flwyddyn, i'w llosgi
m Lef. 16. 12. ar allor yr Arglwydd ein Duw, m fel y
mae'n ysgrifenedig yn y gyfraith:
n Exod. 23. 19. a 34. 26. 35 Ac n i ddwyn blaen-ffrwyth ein
Lef. 19. 23. tir, a blaen-ffrwyth o bob ffrwyth o bob
pren, o flwyddyn i flwyddyn, i dŷ'r Ar-
glwydd:
o Exod. 13. 2, 12, 13. 36 A'r rhai cyntaf-anedig o'n meibion, ac
o'n hanifeiliaid (fel y mae yn ysgrifenedig
Lef. 27. 27. Num. 18. 15, 16. o yn y gyfraith) a chyntaf-anedigion ein
gwartheg, a'n defaid, i'w dwyn i dŷ ein
Duw, at yr offeiriaid sydd yn gwasanaethu
yn nhŷ ein Duw ni.
37 p A blaenion ein toes, a'n hoffrymmau, p Lef. 23. 17.
a ffrwyth pob pren, gwin ac olew, a ddyg- Num. 15. 19. a 18. 12, &c.
em at yr offeiriaid i gelloedd tŷ ein Duw,
a q degwm ein tir i'r Lefiaid; fel y cai'r
Lefiaid hwythau ddegwm trwy holl ddi- Deut. 18. 4. a 26. 2.
nasoedd ein llafur ni.
38 A bydd yr offeiriad, mab Aaron, q Lef. 27. 30.
gyd â'r Lefiaid, r pan fyddo'r Lefiaid yn Num. 18. 21, &c.
degymmu: a dyged y Lefiaid i fynu ddeg-
fed ran y degwm i dŷ ein Duw ni, i'r r Num. 18. 26.
celloedd yn y trysor-dy.
39 Canys meibion Israel a meibion Lefi
s a ddygant offrwm yr ŷd, y gwin, a'r s Deut. 12. 6, 11.
olew, i'r ystafelloedd, lle y mae llestri'r
cyssegr, a'r offeiriaid sydd yn gweini, a'r
porthorion, a'r cantorion; ac nac ym-
wrthodwn â thŷ ein Duw.

## PEN. XI.

*1 Y tywysogion, a'r rhai a ewyllysient, a'r degfed gwr a ddewisid wrth goelbren, yn trigo yn Jerusalem. 3 Rhol o'u henwau hwynt. 20 Y bobl eraill yn trigo mewn dinasoedd eraill.*

A Thywysogion y bobl a drigasant yn Je- 445.
rusalem: a'r rhan arall o'r bobl a
fwriasant goel-brennau i ddwyn un o'r deg
i drigo yn Jerusalem a y ddinas sanctaidd, a Adn. 18. Mat. 4. 5. a 27. 53.
a naw rhan i fod yn y dinasoedd eraill.
2 A'r bobl a fendithiasant yr holl wŷr a
ymroddasent yn ewyllysgar i breswylio yn
Jerusalem.
3 ¶ A dyma bennaethiaid y dalaith, y
rhai a drigasant yn Jerusalem: ond yn ni-
nasoedd Judah pawb a drigasant yn eu
meddiant o fewn eu dinasoedd, sef Israel,
yr offeiriaid, a'r Lefiaid, a'r b Nethiniaid, b Ezra 2. 43.
a c meibion gweision Salomon.
4 A d rhai o feibion Judah, ac o feibion c Ezra 2. 55.
Benjamin a drigasant yn Jerusalem. O feib-
ion Judah; Athaiah mab Uzzïah, fab Zecha- d 1 Chron. 9. 3.
rïah, fab Amarïah, fab Sephatïah, fab Ma-
halaleel, o feibion e Peres; e Gen. 38. 29.
5 Maaseiah hefyd mab Baruch, fab Col-
hoseh, fab Hazaiah, fab Adaiah, fab Joiarib,
fab Zecharïah, fab Siloni.
6 Holl feibion Peres y rhai oedd yn trigo
yn Jerusalem, oedd bedwar cant ac wyth a
thri ugain o wŷr grymmus.
7 A dyma feibion Benjamin; Salu mab
Mesùlam, fab Joëd, fab Pedaiah, fab Co-
laiah, fab Maaseiah, fab Ithiel, fab Jesaiah.
8 Ac ar ei ol ef Gabbai, Sàlai; naw cant
ac wyth ar hugain.
9 A Joël mab Zichri oedd swyddog ar-
nynt hwy: a Judah mab Senuah yn ail ar y
ddinas.
10 f O'r offeiriaid: Jedaiah mab Joiarib, f 1 Chron. 9. 10, &c.
Jachin.
11 Seraiah mab Hilcïah, fab Mesùlam,
fab Sadoc, fab Meraioth, fab Ahitub,
blaenor tŷ Duw.
12 A'u brodyr y rhai oedd yn gweithio
gwaith y tŷ, oedd wyth cant a dau ar hu-
gain: ac Adaiah mab Jeroham, fab Pelalïah,
fab Amsi, fab Zecharïah, fab Pasur, fab
Malchïah,
13 A'i frodyr, pennau cenedl, dau cant a
dau a deugain: ac Amasai mab Azareel,
fab Ahazai, fab Mesilemoth, fab Immer,
14 A'u brodyr hwynt, yn gedyrn o
nerth, oedd gant ac wyth ar hugain: a
Zabdïel mab † Haggedolim yn swyddog † un o'r gwŷr mawr.
arnynt.

15 Ac o'r Lefiaid: Semaiah mab Hasub,
fab Azricam, fab Hasabïah, fab Bunni.
16 Sabbethai hefyd, a Jozabad o bennaeth-
g 1 Chron. iaid y Lefiaid, oedd *oruchaf* [g] ar y gwaith o'r
26. 29. tu allan i dŷ Duw.
17 Mattanïah hefyd mab Micha, fab Zab-
di, fab Asaph, oedd bennaf i ddechreu tâl
dïolch mewn gweddi: a Bacbucïah yn ail o'i
frodyr; ac Abda mab Sammua, fab Galal,
fab Jeduthun.
18 Yr holl Lefiaid yn y ddinas sanctaidd,
*oedd* ddau cant a phedwar a phedwar ugain.
19 A'r porthorion, Accub, Talmon, a'u
† Heb, brodyr † yn cadw'r pyrth, *oedd* gant *a*
*wrth y* deuddeg a thrugain.
*pyrth.* 20 ¶ A'r rhan arall o Israel, o'r offeiriaid
*ac* o'r Lefiaid, *a drigent* yn holl ddinasoedd
Judah, pob un yn ei etifeddiaeth.
h Edrych 21 [h] Ond y Nethiniaid oeddynt yn aros
Pen. 3. 26. yn ‡ y tŵr: Siha a Gispa *oedd* ar y Nethi-
‡ *Ophel.* niaid.
22 A swyddog y Lefiaid yn Jerusalem, *oedd*
Uzzi mab Bani, fab Hasabïah, fab Matta-
nïah, fab Micha: o feibion Asaph, y cantor-
ion *oedd* ar waith tŷ Duw.
i Edrych 23 Canys [i] gorchymyn y brenhin am
Ezra 6. 8, danynt hwy *oedd*, *fod* § ordinhâd safadwy
9. a 7. 20, i'r cantorion, dogn dydd yn ei ddydd.
&c.
§ Neu, 24 A Phethahïah mab Mesezabeel, o feib-
*rhan.* ion [k] Zerah fab Judah, *oedd* wrth law'r bren-
k Gen. 38. hin ym mhob peth *a berthynai* i'r bobl.
30. 25 Ac am y trefydd a'u meusydd, *rhai*
o feibion Judah a drigasant ynghaer Arba a'i
phentrefydd, ac yn Dibon a'i phentrefydd,
ac yn Jecabseel a'i phentrefydd,
26 Ac yn Jesua, ac ym Moladah, ac yn
Beth-phelet,
27 Ac yn Hasar-sual, ac yn Beerseba a'i
phentrefydd,
28 Ac yn Siclag, ac ym Mechonah ac yn
ei phentrefydd,
29 Ac yn En-rimmon, ac yn Sareah, ac
yn Jarmuth,
30 Zanoah, Adùlam, a'u trefydd, Lachis
a'i meusydd, yn Azecah a'i phentrefydd.
A hwy a wladychasant o Beerseba hyd ddy-
ffryn Hinnom.
31 A meibion Benjamin o Geba *a drig-*
|| Neu, *asant* || *ym* Michmas, ac Aia, a Bethel, a'u
*hyd.* pentrefydd,
32 Yn Anathoth, Nob, Ananïah,
33 Hasor, Ramah, Gittaim,
34 Hadid, Seboim, Nebàlat,
l 1 Chron. 35 Lod, ac Ono, [l] glynn y crefftwŷr.
4. 14. 36 Ac o'r Lefiaid *yr oedd* rhannau yn Ju-
dah, *ac* yn Benjamin.

## PEN. XII.

1 *Yr offeiriaid,* 8 *a'r Lefiaid a ddaeth i fynu gyd â Zorobabel.* 10 *Hiliogaeth yr offeiriaid.* 22 *Rhai o'r Lefiaid pennaf.* 27 *Cyhoedd gyssegriad muriau Jerusalem.* 44 *Gosod swyddau i'r offeiriaid ac i'r Lefiaid yn y deml.*

536.
a Ezra 2. 1. DYMA hefyd [a] yr offeiriaid a'r Lefiaid,
y rhai a ddaethant i fynu gyd â Zoro-
b Edrych babel mab Selathiel, a Jesua: *sef* [b] Seraiah,
Pen. 10. Jeremïah, Ezra,
2——8.
* Neu, 2 Amarïah, † Màluch, Hattus,
*Melichu,* 3 ‡ Sechanïah, § Rehum, || Meremoth,
Adn. 14. 4 Ido, † Ginnetho, [c] Abïah,
‡ Neu, 5 ‡ Miamin, § Maadïah, Bilgah,
*Sebanïah,* 6 Semaiah, a Joiarib, Jedaiah,
Adn. 14. 7 || Sàlu, Amoc, Hilcïah, Jedaiah: dyma
§ Neu,
*Harim,*
Adn. 15.

bennaethiaid yr offeiriaid, a'u brodyr yn
nyddiau [d] Jesua. d Ezra 3. 2.
8 A'r Lefiaid: Jesua, Binnui, Cadmiel, Hag. 1. 1.
Serebïah, Judah; *a* Mattanïah *oedd* ar y Zech. 3. 1.
† gerdd, efe a'i frodyr. † Sef,
9 Bacbucïah hefyd ac Unni, eu brodyr *Psalmau*
hwynt, *oedd* ar eu cyfer yn y gwyliadwr- *dïolch.*
iaethau.
10 ¶ A Jesua a genhedlodd Joiacim, a
Joiacim a genhedlodd Elïasib, ac Elïasib a
genhedlodd Joiada,
11 A Joiada a genhedlodd Jonathan, a
Jonathan a genhedlodd Judah.
12 Ac yn nyddiau Joiacim, yr offeiriaid
*hyn* oedd bennau cenedl: o Seraiah, Mera-
iah; o Jeremïah, Hananïah;
13 O Ezra, Mesùlam; o Amarïah, Jeho-
hanan;
14 O Melichu, Jonathan; o Sebanïah, Jo-
seph;
15 O Harim, Adna; o Meraioth, Hel-
cai;
16 O Ido, Zecharïah; o Ginnethon, Me-
sùlam;
17 O Abïah, Zichri; o Miniamin, o Moa-
dïah, Piltai;
18 O Bilgah, Sammua; o Semaiah, Jeho-
nathan;
19 Ac o Joiarib, Mattenai; o Jedaiah,
Uzzi;
20 O Sàlai, Càlai; o Amoc, Eber;
21 O Hilcïah, Hasabïah; o Jedaiah, Ne-
thaneel.
22 ¶ Y Lefiaid yn nyddiau Elïasib, Joiada,
a Johanan, a Jàdua, *oedd* wedi eu hysgrifenu
yn bennau cenedl: a'r offeiriaid hyd deyrn-
asiad Darïus y Persiad.
23 Meibion Lefi, *y pennau cenedl, oedd*
wedi eu hysgrifenu yn llyfr [e] y chroniclau, e 1 Chron.
hyd ddyddiau Johanan mab Elïasib. 9. 14, &c.
24 A phennaethiaid y Lefiaid, *oedd* Ha-
sabïah, Serebïah, a Jesua mab Cadmiel, a'u
brodyr ar eu cyfer, i ogoneddu *ac* i foliannu,
[f] yn ol gorchymyn Dafydd gwr Duw, gwy- f 1 Chron.
liadwriaeth ar gyfer gwyliadwriaeth. 24, a 25, a
26.
25 Mattanïah, a Bacbucïah, Obadïah,
Mesùlam, Talmon, Accub, *a oedd* borthor-
ion, yn cadw gwyliadwriaeth wrth ‡ dro- ‡ Neu,
thwyau'r pyrth. *drysorau,*
*neu, gy-*
26 Y rhai hyn *oedd* yn nyddiau Joiacim *manfau.*
fab Jesua, fab Josadac, ac yn nyddiau Ne-
hemïah y tywysog, ac Ezra'r offeiriad *a'r*
ysgrifenydd.
27 ¶ Ac [g] ynghyssegriad mur Jerusalem 445.
y ceisiasant y Lefiaid o'u holl leoedd, i'w g Deut. 26.
dwyn i Jerusalem, i wneuthur y cyssegriad 5.
â gorfoledd, mewn dïolchgarwch, ac mewn Psal. 30.
càn, *â* symbalau, nablau, ac â thelynau. tit.
28 A meibion y cantorion a ymgynnull-
asant o'r gwastadedd o amgylch i Jerusalem,
ac o drefydd Netophathi,
29 Ac o dŷ Gilgal, ac o feusydd Geba
ac Azmafeth: canys y cantorion a adeil-
adasent bentrefydd iddynt o amgylch Jeru-
salem.
30 Yr offeiriaid hefyd a'r Lefiaid a ym-
lanhasant; glanhasant hefyd y bobl, a'r
pyrth, a'r mur.
31 A mi a berais i dywysogion Judah
ddringo ar y mur; a gosodais ddwy *fintai*
fawr o rai yn moliannu; a mynediad [h] *y* h Edrych
*naill oedd* ar y llaw ddehau ar y mur tu a Adn. 38.
[i] phorth y dom: i Pen. 2. 13,
32 Ac ar eu hol hwynt yr aeth Hosaiah, a a 3. 13.
hanner tywysogion Judah,
33 Azarïah hefyd, Ezra, a Mesùlam,

|| Neu, *Meraioth*, Adn. 15. † Neu, *Ginnethon*, Adn. 16. [c] Luc 1. 5. ‡ Neu, *Miniamin*, Adn. 17. § Neu *Moadiah*, Adn. 17. || Neu, *Sàlai*, Adn. 20.

34 Judah, a Benjamin, a Semaiah, a Jeremïah,

35 Ac o feibion yr offeiriaid [k] ag udgyrn, Zecharïah mab Jonathan, fab Semaiah, fab Mattanïah, fab Michaiah, fab Zaccur, fab Asaph;

36 A'i frodyr ef, Semaiah, ac Azarael, Milalai, Gilalai, Maai, Nethaneel, a Judah, Hanani, ag [l] offer cerdd Dafydd gwr Duw, ac Ezra 'r ysgrifenydd o'u blaen hwynt.

37 Ac wrth [m] borth y ffynnon, yr hon *oedd* ar eu cyfer hwynt, y dringasant ar [n] risiau dinas Dafydd yn nringfa'r mur, oddi ar dŷ Ddafydd, hyd [o] borth y dwfr tu a'r dwyrain.

38 A'r ail *fintai* o'r rhai oedd yn moliannu, oedd yn myned ar eu cyfer hwynt, a minnau ar eu hol; a hanner y bobl *oedd* ar y mur, oddi ar [p] dŵr y ffyrnau, hyd [q] y mur llydan;

39 Ac oddi ar [r] borth Ephraim, ac oddi ar [s] yr hen borth, ac oddi ar [t] borth y pysgod, a thŵr Hananeel, a [u] thŵr Meah, hyd borth y defaid; a hwy a safasant ym [x] mhorth y wyliadwriaeth.

40 Felly y ddwy *fintai*, y rhai oedd yn moliannu, a safasant yn nhŷ Dduw, a minnau, a hanner y swyddogion gyd â mi:

41 Yr offeiriaid hefyd; Elïacim, Maaseiah, Miniamin, Michaiah, Elioënai, Zecharïah, Hananïah, ag udgyrn;

42 Maaseiah hefyd, a Semaiah, ac Eleazar, ac Uzzi, a Jehohanan, a Malchïah, ac Elam, ac Ezra. A'r cantorion a † ganasant yn groch, a Jazrahïah *eu* blaenor.

43 A'r diwrnod hwnnw'r aberthasant ebyrth mawrion, ac y llawenhasant: canys Duw a'u llawenychasai hwynt â llawenydd mawr: y gwragedd hefyd a'r plant a orfoleddasant: fel y clybuwyd llawenydd Jerusalem hyd ym mhell.

44 ¶ A'r dwthwn hwnnw y gosodwyd gwŷr ar gelloedd y trysorau, ar yr offrymmau, ar y blaen-ffrwyth, ac ar y degymmau, i gasglu iddynt hwy o feusydd y dinasoedd y rhannau cyfreithlon i'r offeiriaid a'r Lefiaid: canys llawenydd Judah *oedd* ar yr offeiriaid ac ar y Lefiaid y rhai oedd yn sefyll *yno.*

45 Y cantorion hefyd a'r porthorion a gadwasant wyliadwriaeth eu Duw, a gwyliadwriaeth y glanhâd, yn [y] ol gorchymyn Dafydd, *a* Salomon ei fab.

46 Canys gynt, yn nyddiau Dafydd [z] ac Asaph, *yr oedd* y pen-cantorion, a chaniadau canmoliaeth a moliant i Dduw.

47 Ac yn nyddiau Zorobabel, ac yn nyddiau Nehemïah, holl Israel oedd yn rhoddi rhannau i'r cantorion, a'r porthorion, dogn dydd yn ei ddydd: a hwy a gyssegrasant *bethau sanctaidd* i'r Lefiaid; [a] a'r Lefiaid a'u cyssegrasant i feibion Aaron.

[k] Num. 10. 2.
[l] 1 Chron. 23. 5.
[m] Pen. 2. 14. a 3. 15.
[n] Pen. 3. 15.
[o] Pen. 3. 26. a 8. 1. a 3. 16.
[p] Pen. 3. 11.
[q] Pen. 3. 8.
[r] 2 Bren. 14. 13.
[s] Pen. 3. 6.
[t] Pen. 3. 3.
[u] Pen. 3. 1.
[x] Pen. 3. 31.
† Heb. *wnaethant eu clywed*
[y] 1 Chron. 25, a 26.
[z] 1 Chron. 25. 1, &c.
[a] Num. 18. 26.

## PEN. XIII.

Mai 29. P.
1 *Darllen y gyfraith, a gyrru'r bobl gymmysg o blith Israel.* 4 *Nehemïah, pan ddychwelodd, yn peri glanhâu'r ystafelloedd;* 10 *yn dwyn swyddau tŷ Dduw i well trefn,* 15 *yn llestair halogi'r Sabboth,* 23 *a phriodi gwragedd o estron genedl.*

445.
Y Dwthwn hwnnw y darllenwyd yn llyfr Moses † lle y clybu 'r bobl; a chafwyd yn ysgrifenedig ynddo, [a] na ddylai 'r Ammoniad na'r Moabiad ddyfod i gynnulleidfa Duw yn dragywydd;

† Heb. *ynghlustiau*
[a] Deut. 23. 3, 4.

2 Am na chyfarfuasant â meibion Israel â bara ac â dwfr, eithr [b] cyflogasent Balaam yn eu herbyn i'w melldithio hwynt: [c] etto ein Duw ni a drodd y felldith yn fendith.

3 A phan glywsant hwy y gyfraith, [d] hwy a neillduasant yr holl rai cymmysg oddi wrth Israel.

4 ¶ Ac o flaen hyn, Elïasib yr offeiriad, yr hwn a osodasid ar ystafell tŷ ein Duw ni, *oedd* gyfathrachwr i Tobïah:

5 Ac efe a wnaeth iddo ef ystafell fawr; ac yno y byddent o'r blaen yn rhoddi y bwyd-offrymmau, y thus, a'r llestri, a degwm yr ŷd, y gwin, a'r olew, ‡ a orchymynasid *eu rhoddi* i'r Lefiaid, a'r cantorion, a'r porthorion, ac offrymmau yr offeiriaid.

434.
6 Ac yn hyn i gyd *o amser* ni bûm i yn Jerusalem: canys yn y ddeuddegfed flwyddyn ar hugain i Artaxerxes brenhin Babilon y deuthum i at y brenhin, ac ym mhen *talm o* ddyddiau y § cefais gennad gan y brenhin;

7 Ac a ddaethum i Jerusalem, ac a ddeallais y drygioni a wnaethai Elïasib er Tobïah, gan wneuthur iddo 'stafell ynghynteddoedd tŷ Dduw.

8 A bu ddrwg iawn gennyf; am hynny mi a fwriais holl ddodrefn tŷ Tobïah allan o'r ystafell.

9 Erchais hefyd iddynt lanhâu'r ystafelloedd: a mi a ddygais yno drachefn lestri tŷ Dduw, yr offrwm a'r thus.

10 ¶ Gwybûm hefyd fod [e] rhannau 'r Lefiaid heb eu rhoddi *iddynt*: canys ffoisai 'r Lefiaid a'r cantorion, y rhai oedd yn gwneuthur y gwaith, bob un i'w [f] faes.

11 Yna [g] y dwrdiais y swyddogion, ac y dywedais, Pa ham y gwrthodwyd tŷ Dduw? A mi a'u cesglais hwynt ynghŷd, ac a'u gosodais yn eu ‖ lle.

12 Yna holl Judah a ddygasant ddegwm yr ŷd, a'r gwin, a'r olew, i'r trysordai.

13 A mi a wneuthum yn drysorwŷr ar y trysorau, Selemïah yr offeiriad, a Sadoc yr ysgrifenydd, a Phedaiah, o'r Lefiaid: a cher llaw iddynt hwy *yr oedd* Hanan fab Zaccur, fab Mattanïah: canys ffyddlon y cyfrifid hwynt, ac arnynt hwy *yr oedd* rhannu i'w brodyr.

14 [h] Cofia fi, fy Nuw, o herwydd hyn; ac na ddilea fy ngharedigrwydd a wneuthum i dŷ fy Nuw, ac i'w wyliadwriaethau ef.

15 ¶ Yn y dyddiau hynny y gwelais yn Judah *rai* yn sengi gwin-wryfau ar y Sabboth, ac yn dwyn i mewn ysgubau ŷd, ac yn llwytho asynod, gwin hefyd, a grawnwin, a ffigys, a phob beichiau, ac yn *eu* dwyn i Jerusalem ar y dydd Sabboth: a mi a dystiolaethais *yn eu herbyn* ar y dydd y gwerthasant luniaeth.

16 Y Tyriaid hefyd oedd yn trigo ynddi, *ac* yn dwyn pysgod, a phob peth gwerthadwy, y rhai yr oeddynt hwy yn *eu* gwerthu ar y Sabboth i feibion Judah, ac yn Jerusalem.

17 Yna [i] y dwrdiais bendefigion Judah, ac y dywedais wrthynt, Pa beth drygionus *yw* hwn yr ydych chwi yn ei wneuthur, gan halogi 'r dydd Sabboth?

18 Onid fel hyn y gwnaeth eich tadau chwi? ac oni ddug ein Duw ni'r holl ddrwg hyn arnom ni, ac ar y ddinas hon?

[b] Num. 22. 5.
Jos. 24. 9.
[c] Deut. 23. 5.
[d] Pen. 9. 2.
‡ Heb. *yr hyn oedd orchymyn y Lefiaid.*
§ Neu, *gofynais.*
[e] Mal. 3. 8.
[f] Num. 35. 2.
[g] Adn. 17. 25.
‖ Heb. *sefyllfa.*
[h] Pen. 5. 19.
Adn. 22, 31.
[i] Adn. 11

a chwithau ydych yn ychwanegu digofaint
ar Israel, trwy halogi 'r Sabboth.
k Lef. 23. 32. 19 A phan k dywyllasai pyrth Jerusalem
cyn y Sabboth, yr erchais gau 'r dorau, ac a
orchymynais nad agorid hwynt hyd wedi 'r
Sabboth: a mi a osodais *rai* o'm gweision
l Jer. 17. 21. wrth y pyrth, l *fel* na ddelai baich i mewn
ar ddydd y Sabboth.
20 Felly y marchnadwŷr, a gwerthwŷr pob
peth gwerthadwy, a lettyasant o'r tu allan i
Jerusalem unwaith neu ddwy.
21 A mi a dystiolaethais yn eu herbyn
hwynt, ac a ddywedais wrthynt, Pa ham
yr ydych chwi yn aros dros nos wrth y mur?
os gwnewch eilwaith, mi a estynaf fy llaw
i'ch erbyn. O'r pryd hwnnw ni ddaethant
ar y Sabboth *mwyach*.
m Pen. 12. 30. 22 A mi a ddywedais wrth y Lefiaid, am
n Adn. 14. 31. m iddynt ymlanhâu, a dyfod i gadw 'r pyrth,
gan sancteiddio y dydd Sabboth. n *Am* hyn
† Neu, *amlder.* hefyd cofia fi, fy Nuw, ac arbed fi yn ol
† lliaws dy drugaredd.
Cylch 434. 23 ¶ Yn y dyddiau hynny hefyd y gwel-
ais Iuddewon ‡ o a brïodasent Asdodeesau,
‡ Heb. *a gyttaleusai-ag.* Ammoneesau, *a* Moabeesau, yn wragedd
*iddynt*:
o Ezra 9. 2. 24 A'u plant hwy oedd yn llefaru *y naill*
hanner o'r Asdodiaeg, ac heb fedru ymddi-
ddan yn iaith yr Iuddewon, ond yn ol tafod-
§ Heb. *y bobl a'r bobl.* iaith § y ddeubar bobl.
25 Yna 'r ymrysonais â hwynt, ac y
|| melldithiais hwynt; tarewais hefyd rai o || Neu, *difenwais.*
honynt, ac a bliciais eu gwallt hwynt: a
mi a'u tyngais hwynt trwy Dduw, *gan*
*ddywedyd*, Na roddwch eich merched i'w
meibion hwynt, ac na chymmerwch o'u
merched hwynt i'ch meibion, nac i chwi
eich hunain.
26 Onid o achos y rhai hyn y pechodd
Salomon brenhin Israel? er p na bu bren- p 1 Bren. 3. 13.
hin cyffelyb iddo ef yn mysg cenhedloedd 2 Chron. 1. 12.
lawer, q yr hwn oedd hoff gan ei Dduw,
a Duw a'i gwnaeth ef yn frenhin ar holl q 2 Sam. 12. 24.
Israel; r etto gwragedd dïeithr a wnaethant
iddo ef bechu. r 1 Bren. 11. 1, &c.
27 Ai arnoch chwi y gwrandâwn, i wneu-
thur yr holl ddrygioni mawr hwn, gan
droseddu yn erbyn ein Duw, trwy brïodi
gwragedd dïeithr?
28 Ac *un* o feibion Joiada, fab Elïasib yr
arch-offeiriad, *oedd* ddâw i Sanbàlat yr Ho-
roniad: yr hwn a ymlidiais i oddi wrthyf. s Pen. 6. 14.
29 O fy Nuw, s cofia hwynt, am † idd-
ynt halogi 'r offeiriadaeth, a t chyfammod † Heb. *halogedig-aethau.*
yr offeiriadaeth, a'r Lefiaid.
30 Yna y glanheais hwynt oddi wrth bob t Mal. 2. 4, 11, 12.
estron; u gosodais hefyd oruchwyliaethau
i'r offeiriaid ac i'r Lefiaid, pob un yn ei u Pen. 12. 1, &c.
waith;
31 Ac at x goed yr offrwm mewn amserau x Pen. 10. 34.
nodedig, ac at y blaen-ffrwythau. y Cofia
fi, O fy Nuw, er daioni. y Adn. 14, 22.

# ¶ LLYFR ESTHER.

## PEN. I.

Mai 30. B. 1 *Ahasferus yn gwneuthur gwleddoedd bren-*
*hinol: 10 yn anfon i gyrchu atto y frenhin-*
*es Fasti; a hithau yn gwrthod dyfod. 13*
*Ahasferus, trwy gyngor Memuchan, yn*
*gwneuthur cyfraith ar fod o'r gwŷr yn ben*
*ar eu gwragedd.*

Cyn Crist cylch 521. YN nyddiau Ahasferus (efe *yw* Ahasferus
yr hwn oedd yn teyrnasu a o India hyd
Ethiopia, *sef ar* gant a saith ar hugain o da-
leithiau)
a Pen. 8. 9. 2 Yn y dyddiau hynny, pan eisteddodd y
brenhin Ahasferus ar orseddfa ei frenhin-
iaeth, yr hon *oedd* yn Susan y brenhin-llys,
Cylch 519. 3 Yn y drydedd flwyddyn o'i deyrnasiad,
efe a wnaeth wledd i'w holl dywysogion,
a'i weision; cadernid Persia, a Media, y
rhaglawiaid, a thywysogion y taleithiau, *oedd*
ger ei fron ef.
4 Fel y dangosai efe gyfoeth *a* gogoniant
ei deyrnas, ac anrhydedd a phrydferthwch
ei fawredd, ddyddiau lawer, *sef* cant a
phedwar ugain o ddyddiau.
5 Ac wedi gorphen y dyddiau hynny, y
brenhin a wnaeth i'r holl bobl a gafwyd yn
Susan y brenhinllys, o'r mwyaf hyd y llei-
af, wledd *dros* saith niwrnod, ynghyntedd
gardd palas y brenhin.
6 *Lle'r oedd llenni* gwŷnion, gwŷrddion,
† Neu, *glaswon.* a † rhudd-gochion, wedi eu cylymmu â
llinynnau sidan, ac â phorphor, wrth fodrwy-
b Edrych Pen. 7. 8. au arian, a cholofnau marmor: b y gwe-
Esec. 23. 41. lyau *oedd* o aur ac arian, ar balmant o *faen*
grisial, a marmor, ac alabaster, a iasinct.
Amos 2. 8. a 6. 4. 7 Ac yfed dïod *yr oeddynt* mewn llestri
aur, a chyfnewid amryw lestri, a gwin bren-
‡ Heb. *llaw.* hinol lawer, yn ol ‡ gallu 'r brenhin.
8 Yr yfed hefyd *oedd* wrth ddefod, nid
*oedd* neb yn cymmell: canys gosodasai 'r
brenhin *orchymyn* ar bob swyddwr *o fewn* ei
dŷ, ar wneuthur yn ol ewyllys pawb.
9 Y frenhines Fasti hefyd a wnaeth wledd
i'r gwragedd *yn* y brenhin-dy *oedd* eiddo
Ahasferus y brenhin.
10 ¶ Ar y seithfed dydd, pan oedd lawen
calon y brenhin gan win, efe a ddywedodd
wrth Mehuman, Biztha, c Harbona, Big- c Pen. 7. 9.
tha, ac Abagtha, Zethar, a Charcas, y saith
§ ystafellydd oedd yn gweini ger bron y § Neu, *eunuch.*
brenhin Ahasferus,
11 Am gyrchu 'r frenhines Fasti o flaen
y brenhin, yn y frenhinol goron, i ddangos
i'r bobloedd ac i'r tywysogion ei glendid
hi: canys glân yr olwg *ydoedd* hi.
12 Ond y frenhines Fasti a wrthododd
ddyfod wrth air y brenhin trwy law ei ysta-
fellyddion: am hynny y llidiodd y brenhin
yn ddirfawr, a'i ddigllonedd ef a ennynodd
ynddo.
13 ¶ Yna y dywedodd y brenhin wrth y
doethion d oedd yn gwybod yr amserau, d 1 Chron. 12. 32.
(canys felly *yr oedd* arfer y brenhin tu ag at
bob rhai a fyddai yn gwybod cyfraith a
barn:
14 A nesaf atto ef *oedd* Carsena, Sethar,
Admatha, Tarsis, Meres, Marsena, *a* Me-
muchan, e saith dywysog Persia a Media, f y e Ezra 7. 14.
rhai oedd yn gweled wyneb y brenhin,
*ac* yn eistedd yn gyntaf yn y frenhin- f 2 Bren. 25. 19.
iaeth)
15 Beth sydd i'w wneuthur wrth y gyf-
raith i'r frenhines Fasti, am na wnaeth hi
archiad y brenhin Ahasferus trwy law 'r
ystafellyddion?
16 Yna Memuchan a ddywedodd ger bron
y brenhin a'r tywysogion, Nid yn erbyn y
brenhin yn unig y gwnaeth Fasti y frenhin-
es ar fai, ond yn erbyn yr holl dywysogion
hefyd, a'r holl bobloedd *sydd* trwy holl da-
leithiau 'r brenhin Ahasferus.
17 Canys gweithred y frenhines a â allan || *dirmyg-*
at yr holl wragedd, fel y || tremygant eu *ant.*

gwŷr yn eu golwg eu hun, pan ddywedant,
Y brenhin Ahasferus a archodd gyrchu Fasti
y frenhines o'i flaen; ond ni ddaeth hi.
18 Arglwyddesau Persia a Media, y rhai
a glywsant weithred y frenhines, a ddy-
wedant heddyw wrth holl dywysogion y
brenhin. Felly *y bydd* mwy na digon o
ddirmyg a digter.
† Heb. *da fydd gan.* 19 Os † bydd boddlon gan y brenhin, eled
brenhinol orchymyn oddi wrtho ef, ac ys-
grifener ef ym mysg cyfreithiau 'r Persiaid
g Pen. 8. 8. a'r Mediaid, fel na g throsedder ef; na ddêl
Fasti *mwy* ger bron y brenhin Ahasferus; a
rhodded y brenhin ei brenhin-fraint hi i'w
chyfeilles yr hon sydd well na hi.
20 A phan glywer gorchymyn y brenhin,
yr hwn a wnelo efe, trwy ei holl frenhin-
iaeth (yr hon sydd fawr) yna 'r holl wrag-
edd a roddant anrhydedd i'w gwŷr, o'r
mwyaf hyd y lleiaf.
21 A da oedd y peth yngolwg y brenhin
a'r tywysogion; a'r brenhin a wnaeth yn ol
gair Memuchan:
h Pen. 8. 9. 22 Canys efe a anfonodd lythyrau i holl
‡ Heb. *a'i gyhoeddi o un yn ol tafod-iaith ei bobl.* daleithiau 'r brenhin, ie h i bob talaith yn
ol ei 'sgrifen, ac at bob pobl yn ol eu tafod-
iaith ei hun; ar fod pob gwr yn arglwydd-
iaethu yn ei dŷ ei hun; ‡ a chyhoeddi *hyn*
yn ol tafod-iaith pob rhyw bobl.

## PEN. II.

Mai 30. P.. 1 *Dewis brenhines i Ahasferus o fysg y gwŷr-*
*yfon glanaf.* 5 *Mordechai tadmaeth Esther.*
8 *Hegai yn gweled Esther yn well nag un*
*o'r lleill.* 12 *Y modd y glanhéid y gwŷr-*
*yfon, ac yr aent i mewn at y brenhin.* 15
*Esther yn rhyngu bodd y brenhin yn oreu,*
*ac yn cael ei gwneuthur yn frenhines.* 21
*Mordechai yn datguddio bradwriaeth; ac*
*ysgrifenu hynny yn y chronicl.*

518. WEDI 'r pethau hyn, pan lonyddodd
digllonedd y brenhin Ahasferus, efe
a gofiodd Fasti, a'r hyn a wnelsai hi, a'r hyn
a farnasid arni.
2 Am hynny gweision y brenhin, y rhai
oedd yn gweini iddo, a ddywedasant, Ceis-
ier i 'r brenhin langcesau têg yr olwg o wŷr-
yfon:
3 A gosoded y brenhin-swyddogion trwy
holl daleithiau ei frenhiniaeth, a chasglant
hwythau bob llangces dêg yr olwg, o wŷryf,
† Neu, *Hegai, adn. 8.* i Susan y brenhinllys, i dŷ 'r gwragedd, dan
law † Hege ystafellydd y brenhin, ceidwad
y gwragedd; a rhodder *iddynt* bethau i'w
glanhâu:
4 A'r llangces a fyddo da yngolwg y
brenhin, a deyrnasa yn lle Fasti. A da oedd
y peth hyn yngolwg y brenhin; ac felly y
gwnaeth efe.
5 ¶ Yn Susan y brenhinllys yr oedd rhyw
Iuddew a'i enw Mordechai, mab Jair, fab
Simei, fab Cis, gwr o Jemini;
a 2 Bren. 24. 14, 15. 2 Chron. 36. 10. Jer. 24. 1. 6 a Yr hwn a ddygasid o Jerusalem gyd
â'r gaeth-glud a gaeth-gludasid gyd â Je-
choniah brenhin Judah, yr hwn a ddarfuasai i
Nebuchodonosor brenhin Babilon ei gaeth-
gludo.
7 Ac efe a fagasai Hadassah (honno *yw*
b Adn. 15. Esther) b merch ei ewythr ef frawd ei
dad; canys nid *oedd* iddi dad na mam: a'r
‡ Heb. *dêg o bryd.* llangces *oedd* ‡ weddeiddlwys, a glân yr
olwg; a phan fuasai ei thad a'i mam hi
farw, Mordechai a'i cymmerasai hi yn ferch
iddo.
8 ¶ A phan gyhoeddwyd gair y brenhin
a'i gyfraith, pan gasglasid hefyd langcesau
lawer i Susan y brenhinllys dan law Hegai,
cymmerwyd Esther i dŷ 'r brenhin, dan law
Hegai ceidwad y gwragedd.
9 A'r llangces oedd § dêg yn ei olwg ef, § Heb. *dda.*
a hi a gafodd ffafr ganddo; am hynny efe ar
frys a barodd roddi iddi bethau i'w glan-
hâu, a'i rhannau, a rhoddi iddi saith o
langcesau golygus, o dŷ 'r brenhin: ac efe
a'i ‖ symmudodd hi a'i llangcesau i'r *fan* ‖ Heb. *newidiodd.*
oreu *yn* nhŷ 'r gwragedd.
10 c Onid ni fynegasai Esther ei phobl, na'i c Adn. 20.
chenedl: canys Mordechai a orchymynasai
iddi nad ynganai.
11 A Mordechai a rodiodd beunydd o flaen
cyntedd tŷ 'r gwragedd, i wybod † llwydd- † Heb. *heddwch.*
iant Esther, a pheth a wnelid iddi.
12 ¶ A phan ddigwyddai amser pob llang- Cylch
ces i fyned i mewn at y brenhin Ahasferus, 515.
wedi bod iddi hi yn ol defod y gwragedd ddeu-
ddeng mis (canys felly y cyflawnid dydd-
iau eu puredigaeth hwynt; chwe mis mewn
olew myrr, a chwe mis mewn per-aroglau, a
phethau eraill i lanhâu 'r gwragedd)
13 Yna fel hyn y deuai 'r llangces at y
brenhin; Pa beth bynnag a ddywedai hi
*am dano* a roddid iddi, i fyned gyd â hi o
dŷ 'r gwragedd i dŷ 'r brenhin.
14 Gyd â'r hwyr yr ai hi i mewn, a'r bore
hi a ddychwelai i dŷ arall y gwragedd, dan
law Saasgaz, ystafellydd y brenhin, ceidwad
y gordderchadon: ni ddeuai hi i mewn at y
brenhin mwyach, oddieithr i 'r brenhin ei
chwennych hi, a'i galw hi wrth *ei* henw.
15 ¶ A phan ddigwyddodd amser Esther, Cylch
d merch Abihail ewythr Mordechai (yr hon 515.
a gymmerasai efe yn ferch iddo) i fyned i d Adn. 7.
mewn at y brenhin, ni cheisiodd hi ddim
ond yr hyn a ddywedasai Hegai, ystafellydd
y brenhin, ceidwad y gwragedd: ac Esther
oedd yn cael ffafr yngolwg pawb a'r oedd
yn edrych arni.
16 Felly Esther a gymmerwyd at y brenhin
Ahasferus, i'w frenhin-dy ef, yn y degfed
mis (hwnnw *yw* mis Tebeth) yn y seithfed
flwyddyn o'i deyrnasiad ef.
17 A'r brenhin a hoffodd Esther rhagor yr
holl wragedd, a hi a gafodd ffafr a chare-
digrwydd yn ei wydd ef rhagor yr holl wŷr-
yfon; ac efe a osododd y deyrn-goron ar ei
phen hi, ac a'i gwnaeth yn frenhines yn lle
Fasti.
18 Yna y gwnaeth y brenhin wledd fawr Cylch
i'w holl dywysogion a'i weision, *sef* gwledd 514.
Esther; ac efe a wnaeth ‡ ryddid i'r taleith- ‡ Heb. *lonyddwch.*
iau, ac a roddodd roddion yn ol gallu 'r
brenhin.
19 A phan gasglwyd y gwŷryfon yr ail
waith, yna Mordechai oedd yn eistedd ym
mhorth y brenhin.
20 e Nid oedd Esther yn mynegi ei che- e Adn. 10.
nedl, na'i phobl; megis y gorchymynasai Mor-
dechai iddi: canys Esther oedd yn gwneu-
thur yr hyn a ddywedasai Mordechai, fel *cynt*
*pan* oedd hi yn ei meithrin gyd ag ef.
21 ¶ f Yn y dyddiau hynny (pan oedd f Edrych Esther 12. 1, Apocrypha.
Mordechai yn eistedd ym mhorth y brenhin)
y llidiodd § Bigthan a Theres, dau o 'sta- § Neu, *Bigthana, Pen. 6. 2.*
fellyddion y brenhin, *sef* o'r rhai oedd yn
cadw 'r trothwy, a cheisiasant estyn llaw yn
erbyn y brenhin Ahasferus.
22 A'r peth a wybu Mordechai; ac efe a'i
mynegodd i Esther y frenhines; ac Esther
a'i dywedodd wrth y brenhin, yn enw Mor-
dechai.
23 A phan chwiliwyd y peth, fe a gaf-
wyd *felly*: am hynny y crogwyd hwynt

ill dau ar bren. A 'sgrifenwyd *hynny* mewn
g Pen. 6. 1. [g] llyfr chronicl, ger bron y brenhin.

## PEN. III.

Mai 31. B. 1 *Ahasferus yn dyrchafu Haman, ac yntau
am i Mordechai ei ddiystyru, yn ceisio dial
ar yr holl Iuddewon;* 7 *ac yn bwrw coel-
bren;* 8 *a thrwy enllib yn cael gan y
brenhin wneuthur cyfraith i ladd yr holl
Iuddewon.*

Cylch WEDI'r pethau hyn, y brenhin Ahas-
510. ferus a fawrhaodd Haman fab Ham-
a Edrych medatha [a] yr Agagiad, ac a'i dyrchafodd ef;
Est. 16. 10, gosododd hefyd ei orsedd-faingc ef goruwch
Apoc. yr holl dywysogion *oedd* gyd ag ef.
2 A holl weision y brenhin, y rhai *oedd*
ym mhorth y brenhin, oedd yn ymgrym-
mu, ac yn ymostwng i Haman; canys felly
y gorchymynasai'r brenhin am dano ef:
b Est. 13. ond [b] nid ymgrymmodd Mordechai, ac nid
14. ymostyngodd.
3 Yna gweision y brenhin, y rhai *oedd* ym
mhorth y brenhin, a ddywedasant wrth
Mordechai, Pa ham yr ydwyt ti yn troseddu
c Adn. 2. [c] gorchymyn y brenhin?
4 Ac er eu bod hwy beunydd yn dy-
wedyd wrtho *fel hyn*, etto ni wrandawai
efe arnynt hwy; am hynny y mynegasant
i Haman, i edrych a safai geiriau Morde-
chai: canys efe a fynegasai iddynt mai Iu-
ddew *ydoedd* efe.
5 A phan welodd Haman nad oedd
Mordechai yn ymgrymmu, nac yn ym-
ostwng iddo, Haman a lanwyd o ddig-
llonedd.
6 Er hynny diystyr oedd ganddo yn ei
olwg ei hun estyn llaw yn erbyn Mordechai
ei hunan; canys mynegasant iddo bobl
Mordechai: am hynny Haman a geisiodd
ddifetha'r holl Iuddewon, y rhai *oedd*
trwy holl frenhiniaeth Ahasferus, *sef* pobl
Mordechai.
510. 7 ¶ Yn y mis cyntaf (hwnnw *yw* mis
Nisan) yn y ddeuddegfed flwyddyn i'r
d Pen. 9. brenhin Ahasferus, [d] efe a barodd fwrw
24. Pwr (hwnnw *yw*, y coel-bren) ger bron
Haman, o ddydd i ddydd, ac o fis i fis,
*hyd* y deuddegfed *mis*, hwnnw *yw* mis
Adar.
8 ¶ A Haman a ddywedodd wrth y
brenhin Ahasferus, Y mae rhyw bobl was-
garedig a gwahanedig ym mhlith y bobl-
oedd, trwy holl daleithiau dy frenhin-
e Ezra 4. iaeth; [e] a'u cyfreithiau hwynt *sy* yn am-
13. rafaelio oddi wrth yr holl bobl, ac nid
Act. 16. 20. ydynt yn gwneuthur cyfreithiau'r bren-
† Neu, hin; am hynny nid † buddiol i'r brenhin
*cym-* eu dioddef hwynt.
*mwys.* 9 O bydd boddlon gan y brenhin, ysgri-
‡ Heb. fener ‡ am eu difetha hwynt: a deng mil
*i'w dyfe-* o dalentau arian a § dalaf ar ddwylaw y
*tha.* rhai a wnant y weithred hon, i'w dwyn i
§ Heb. [illegible] drysorau'r brenhin.
f Gen. 41. 10 A [f] thynnodd y brenhin [g] ei fodrwy
42. oddi am ei law, ac a'i rhoddes i Haman
g Pen. 8. fab Hammedatha yr Agagiad, ‖ gwrth-
2. 8. wynebwr yr Iuddewon.
‖ Neu, 11 A'r brenhin a ddywedodd wrth Ha-
*gorthrym-* man, Rhodder yr arian i ti, a'r bobl, i
*mwr.* wneuthur â hwynt fel y byddo da yn dy
olwg.
h Pen. 8. 9. 12 [h] Yna y galwyd ysgrifenyddion y
brenhin, yn y mis cyntaf, ar y trydydd dydd
ar ddeg o'r *mis* hwnnw, ac yr ysgrifen-
wyd, yn ol yr hyn oll a orchymynasai Ha-
man, at bendefigion y brenhin, ac at y
dugiaid *oedd* ar bob talaith, ac at dywysog-
ion pob pobl i bob talaith [i] yn ol ei 'sgri- i Pen. 1. 22.
fen, ac *at* bob pobl yn ol eu tafod-iaith; a 8. 9.
yn enw'r brenhin Ahasferus yr ysgrifen-
asid, ac â modrwy'r brenhin y seliasid *hyn*.
13 A'r llythyrau a anfonwyd gyd a'r
rhedegwŷr i holl daleithiau'r brenhin; i
ddinystrio, i ladd, ac i ddifetha'r holl
Iuddewon, yn ieuaingc ac yn hen, yn blant
ac yn wragedd, [k] mewn un dydd, *sef* ar k Pen. 8.
[l] y trydydd *dydd* ar ddeg o'r deuddegfed 12, &c.
mis (hwnnw *yw* mis Adar) ac [m] i 'sgly- l 2 Mac.
faethu eu hyspail hwynt. 15. 36.
14 Testun yr ysgrifen, i roi gorchymyn m Pen. 8.
ym mhob talaith, a gyhoeddwyd i'r holl 11.
bobloedd, i fod yn barod erbyn y diwrnod
hwnnw.
15 Y rhedegwŷr a aethant, wedi eu
cymmell trwy air y brenhin, a'r gorchy-
myn a roddasid yn Susan y brenhinllys.
Y brenhin *hefyd* a Haman a eisteddasant
i yfed, a [n] dinasyddion Susan oedd yn n Edrych
athrist. Pen. 8. 15.

## PEN. IV.

1 *Mawr alar Mordechai a'r Iuddewon.* 4 Mai 31. P.
*Esther, pan wybu hynny, yn danfon at Mor-
dechai, ac yntau yn dangos iddi'r achos, ac
yn ei chyngori hi i eiriol drostynt hwy.* 10
*Hithau yn ymesgusodi, a Mordechai yn ei
bygwth hi:* 15 *a hithau yn gosod ympryd,
ac yn addaw eiriol drostynt.*

PAN wybu Mordechai yr hyn oll a wnel- Cylch
sid, Mordechai a rwygodd ei ddillad, ac 510.
a wisgodd sach-liain [a] a lludw, ac a aeth a Jos. 7. 6.
allan i ganol y ddinas, ac a waeddodd â Ezec. 27.
chwerw-lef uchel. 30.
2 Ac efe a ddaeth hyd o flaen porth y
brenhin: ond ni *cheid* dyfod i borth y bren-
hin mewn gwisg o sach.
3 Ac ym mhob talaith *a* lle a'r y daethai
gair y brenhin a'i orchymyn *iddo*, *yr oedd*
galar mawr gan yr Iuddewon, ac ympryd,
ac wylofain, ac oernad; a † llawer a or- † Heb.
weddent mewn sach-liain a lludw. *sach-liain*
4 ¶ Yna llangcesau Esther a'i ‡ hystafell- *a lludw a*
yddion hi a ddaethant ac a fynegasant *daenid*
*hynny* iddi hi. A'r frenhines a dristaodd *dan*
yn ddirfawr; a hi a ddanfonodd wisgoedd *lawer.* Esay 58. 5.
i ddilladu Mordechai, ac i dynnu ymaith ei Dan. 9. 3.
sach-liain ef oddi am dano; ond ni chym- ‡ Heb.
merai efe *hwynt*. *eunuch-iaid.*
5 Am hynny Esther a alwodd ar Hathach,
*un* o 'stafellyddion y brenhin, yr hwn a
osodasai efe *i wasanaethu* o'i blaen hi; a hi
a orchymynodd iddo am Mordechai, fynnu
gwybod pa beth *oedd* hyn, ac am ba beth
*yr ydoedd* hyn.
6 Yna Hathach a aeth allan at Mordechai
i heol y ddinas, yr hon *sydd* o flaen porth
y brenhin.
7 A Mordechai a fynegodd iddo'r hyn
oll a ddigwyddasai iddo; a swm yr arian
y rhai a addawsai Haman eu talu i dry-
sorau'r brenhin am yr Iuddewon, i'w di-
fetha hwynt.
8 Ac efe a roddodd iddo destun ysgrifen
y gorchymyn a osodasid yn Susan i'w di-
nystrio hwynt, i'w ddangos i Esther, ac i'*w*
fynegi iddi, ac i orchymyn iddi fyned i
mewn at y brenhin, i ymbil ag ef, ac i
§ ymhêdd o'i flaen ef dros ei phobl. § *Erfyn.*
9 A Hathach a ddaeth ac a fynegodd i
Esther eiriau Mordechai.
10 ¶ Ac Esther a ddywedodd wrth Ha-
thach, ac a orchymynodd iddo *ddywedyd*
wrth Mordechai;

11 Holl weision y brenhin, a phobl ta-
leithiau'r brenhin, ydynt yn gwybod, mai
pa wr bynnag, neu wraig a ddelo i mewn
at y brenhin i'r cyntedd nesaf i mewn, heb
b Dan. 2. 9. ei alw, b un o'i gyfreithiau ef yw ei farw-
c Pen. 5. 2. olaethu *ef*, oddieithr yr hwn c yr estyno'r
& 8. 4. brenhin y deyrn-wialen aur iddo, fel y
byddo byw: ac ni'm galwyd i ddyfod i
mewn at y brenhin, bellach *er ys* deng
niwrnod ar hugain.
12 A hwy a fynegasant i Mordechai eiriau
Esther.
13 Yna Mordechai a ddywedodd am
iddynt atteb Esther; Na feddwl yn dy
galon y diengi *yn* nhŷ'r brenhin rhagor
yr holl Iuddewon.
14 O herwydd os tewi â son a wnai di
y pryd hyn, esmwythder ac ymwared a
gyfyd i'r Iuddewon o le arall, titiau a thŷ
dy dad a gyfrgollir: a phwy sydd yn gwy-
bod ai o herwydd y *fath* amser a hwn y
daethost ti i'r frenhiniaeth?
15 ¶ Yna Esther a ddywedodd am at-
teb Mordechai *fel hyn*.
16 Dos a chasgl yr holl Iuddewon a gaffer
yn Susan, ac ymprydiwch drosof fi, na fwyt-
d Edrych Pen. 5. 1. tëwch hefyd ac nac yfwch *dros* d ddiddiau,
nos na dydd: a minnau a'm llangcesau a
ymprydiaf felly: ac felly'r af i mewn at y
brenhin, yr hwn *beth* nid *yw* gyfreithlon:
e Edrych ac e o derfydd am danaf, darfydded.
Gen. 43. 14. 17 Felly Mordechai a aeth ymaith, ac a
wnaeth yn ol yr hyn oll a orchymynasai
Esther iddo.

PEN. V.

Mehefin 1. B. 1 *Esther, wrth anturio ar ffafr y brenhin,*
*yn cael estyn atti y deyrn-wialen aur, ac*
*yn gwahodd y brenhin a Haman i'r wledd.*
*6 A chwedi cael cysur gan y brenhin am*
*y peth yr oedd hi yn ei geisio, yn eu*
*gwahodd hwy drannoeth i wledd arall.*
*9 Haman yn falch o'i godiad, yn ddrwg*
*gantho fod Mordechai yn ei ddiystyru ef,*
*14 a thrwy gyngor Zeres yn gwneuthur*
*crog-bren iddo ef.*

Cylch AC a ar y trydydd dydd, Esther a ym-
510. wisgodd *mewn* brenhinol *wisgoedd*, ac
a Edrych a safodd b ynghyntedd tŷ'r brenhin o'r tu
Pen. 4. 16. fewn, ar gyfer tŷ'r brenhin: a'r brenhin
b Edrych oedd yn eistedd ar ei deyrn-gadair yn y
Pen. 6. 4. brenhindy gyferbyn â drws y tŷ.
2 A phan welodd y brenhin Esther y fren-
c Edrych hines yn sefyll yn y cyntedd, c hi a gafodd
Est. 15. 7, ffafr yn ei olwg ef: a'r d brenhin a estyn-
Apoc. odd y deyrn-wialen aur *oedd* yn ei law ef
d Pen. 8. 4. tu ag at Esther; ac Esther a nesaodd, ac a
gyffyrddodd â phen y deyrn-wialen.
3 Yna y brenhin a ddywedodd wrthi,
Beth a fynni di, y frenhines Esther? a pha
e Felly beth *yw* dy ddeisyfiad? e hyd yn hanner y
Marc 6. 23. frenhiniaeth, ac fe a'i rhoddir it'.
4 A dywedodd Esther, O rhyngu bodd
i'r brenhin, deled y brenhin a Haman
heddyw i'r wledd a wneuthum iddo.
5 A'r brenhin a ddywedodd, Perwch i
Haman frysio i wneuthur yn ol gair Esther.
Felly y daeth y brenhin a Haman i'r wledd
a wnaethai Esther
f Pen. 7. 2. 6 ¶ f A'r brenhin a ddywedodd wrth
g Pen. 9. Esther ynghyfeddach y gwin, g Beth yr wyt
12. ti yn ei ofyn, ac fe a roddir i ti? a pheth
yr wyt ti yn ei geisio? *gofyn* hyd yn hanner
y frenhiniaeth, ac fe a'i cwblheir.
7 Ac Esther a attebodd, ac a ddywedodd,
Fy nymuniad a'm deisyfiad *yw*,
8 O chefais ffafr yngolwg y brenhin, ac
o rhyglyddu bodd i'r brenhin roddi fy
nymuniad, a gwneuthur fy neisyfiad; deled
y brenhin a Haman i'r wledd a arlwy-
wyf iddynt, ac y foru y gwnaf yn ol gair
y brenhin.
9 ¶ Yna Haman a aeth allan y diwrnod
hwnnw yn llawen, ac yn hyfryd ei galon:
ond pan welodd Haman Mordechai ym
mhorth y brenhin, na chyfodasai efe, ac
na syflasai erddo ef, Haman a gyflawnwyd
o ddigllonedd yn erbyn Mordechai.
10 Er hynny Haman a ymattaliodd; a
phan ddaeth i'w dŷ ei hun, efe a anfonodd,
ac a † alwodd am ei garedigion, a Zeres ei † Heb. *wnaeth*
wraig. *i'w gare-*
11 A Haman a adroddodd iddynt o ogoni- *digion*
ant ei gyfoeth, ac h amldra ei feibion, a'r *ddyfod.*
hyn oll y mawrhasai'r brenhin ef yn- h Pen. 9. 7
ddynt, ac fel y dyrchafasai'r *brenhin* ef &c.
goruwch y tywysogion a gweision y bren-
hin.
12 A dywedodd Haman hefyd, Ni wa-
hoddodd Esther y frenhines *neb* gyd â'r
brenhin i'r wledd a wnaethai hi, ond myfi;
ac y foru hefyd y'm gwahoddwyd atti hi
gyd â'r brenhin.
13 Ond nid yw hyn oll yn llesâu i mi,
tra fyddwyf fi yn gweled Mordechai'r
Iuddew yn eistedd ym mhorth y bren-
hin.
14 ¶ Yna y dywedodd Zeres ei wraig, a'i
holl garedigion wrtho, Parottôer pren o
ddeg cufydd a deugain o uchder, a'r bore
dywed wrth y brenhin am grogi Mor-
dechai arno; yna dos gyd â'r brenhin i'r
wledd yn llawen. A da oedd y peth ger
bron Haman, am hynny efe a barottôdd i y i Pen. 7. 10.
crog-bren.

PEN. VI.

1 *Ahasferus wrth ddarllen yn y chronicl am y* Mehefin 1.
*gwasanaeth da a wnaethai Mordechai iddo,* P.
*yn gofalu am wneuthur tál iddo. 4 Haman*
*wrth geisio peri crogi Mordechai, mewn*
*anwybod yn rhoi cyngor i beri iddo gael*
*parch, 12 yn cwyno mor druch fuasai, a'r*
*eiddo ei hun yn dangos iddo ei dynged.*

Y Noson honno cwsg y brenhin a giliodd Cylch
ymaith; am hynny efe a archodd 510.
ddwyn a llyfr coffadwriaethau hanesion yr a Pen. 2.
amseroedd; a darllenwyd hwynt ger bron 23.
y brenhin.
2 Yna y cafwyd yn ysgrifenedig yr hyn
a fynegasai Mordechai am † Bigthana, a † Neu.
Theres, dau o 'stafellyddion y brenhin, o'r *Bigthan,*
rhai oedd yn cadw'r trothwy; *sef* y rhai Pen. 2. 21.
a geisiasent estyn llaw yn erbyn y brenhin
Ahasferus.
3 A dywedodd y brenhin, Pa anrhydedd
neu fawredd a wnaed i Mordechai am hyn?
A gweision y brenhin, *sef* ei weinidogion
ef, a ddywedasant, Ni wnaed dim erddo ef.
4 ¶ A'r brenhin a ddywedodd, Pwy *sydd*
yn y cyntedd? (A Haman a ddaethai i
b gyntedd nesaf allan tŷ'r brenhin, i ddy- b Edrych
wedyd wrth y brenhin am grogi Mordechai Pen. 5. 1.
ar y pren a barottoisai efe iddo)
5 A gweision y brenhin a ddywedasant
wrtho, Wele Haman yn sefyll yn y cyn-
tedd. A dywedodd y brenhin, Deled i
mewn.
6 A phan ddaeth Haman i mewn, dy-
wedodd y brenhin wrtho, Beth a wneir i'r
gwr y mae'r brenhin yn ewyllysio ei ‡ an- ‡ Heb.
rhydeddu? (Yna Haman a ddywedodd yn *anrhy-*
ei galon, I bwy yr ewyllysia'r brenhin *dedd.*
wneuthur anrhydedd yn fwy nag i mi?

7 A Haman a ddywedodd wrth y brenhin, Y gwr y mae'r brenhin yn chwennych ei † anrhydeddu,

† Heb. *anrhydedd.*

8 Dygant y wisg frenhinol *iddo* yr hon a wisg y brenhin, [c] a'r march y merchyg y brenhin arno, a rhodder y frenhinol goron am ei ben ef:

c 1 Bren. 1. 33.

9 A rhodder y wisg, a'r march, yn llaw un o dywysogion arddercoccaf y brenhin, a gwisgant am y gwr y mae'r brenhin yn chwennych ei anrhydeddu, a pharant iddo farchogaeth ar y march trwy heol y ddinas, a chyhoeddant o'i flaen ef, Fel hyn y gwneir i'r gwr y mae'r brenhin yn chwennych ei anrhydeddu.

10 Yna y brenhin a ddywedodd wrth Haman, Brysia, cymmer y wisg a'r march, fel y lleferaist, a gwna felly i Mordecai yr Iuddew, yr hwn sydd yn eistedd ym mhorth y brenhin: na ad ‡ heb wneuthur ddim o'r hyn oll a leferaist.

‡ Heb. *i ddim gwympo o'r, &c.*

11 Felly Haman a gymmerth y wisg a'r march, ac a wisgodd am Mordecai, ac a wnaeth hefyd iddo farchogaeth trwy heol y ddinas, ac a gyhoeddodd o'i flaen ef, Fel hyn y gwneir i'r gwr y mae'r brenhin yn mynnu ei anrhydeddu.

12 ¶ A dychwelodd Mordecai i borth y brenhin. A Haman [d] a frysiodd i'w dŷ yn alarus, [e] wedi gorchuddio ei ben.

d 2 Chron. 26. 20.
e 2 Sam. 15. 30. Jer. 14. 3, 4.

13 A Haman a adroddodd i Zeres ei wraig, ac i'w holl garedigion, yr hyn oll a ddigwyddasai iddo. Yna ei ddoethion, a Zeres ei wraig, a ddywedasant wrtho, Os o had yr Iuddewon *y mae* Mordecai, yr hwn y dechreuaist syrthio o'i flaen, ni orchfygi mo hono, ond gan syrthio y syrthi o'i flaen ef.

14 Tra'r *oeddynt* hwy etto'n ymddiddan ag ef, ystafellyddion y brenhin a ddaethant, ac a gyrchasant Haman ar frys i'r wledd a wnelsai Esther.

## PEN. VII.

Mehef. 2. B.

1 *Esther wrth wneuthur croesaw i'r brenhin ac i Haman, yn gofyn ei heinioes ei hun a'i phobl, 5 yn achwyn ar Haman, 7 a'r brenhin yn ei ddig, wrth glywed son am y crogbren a wnaethai Haman i Mordecai, yn peri ei grogi ef ar hwnnw.*

Cylch 510.

FELLY daeth y brenhin a Haman i † gyfeddach gyd ag Esther y frenhines.

† Heb. *yfed.*

2 A dywedodd y brenhin wrth Esther drachefn yr ail dydd, [a] wrth gyfeddach y gwin, Beth *yw* dy ddymuniad, Esther y frenhines? ac fe a roddir i ti; a pha beth *yw* dy ddeisyfiad? *gofyn* hyd yn hanner y deyrnas, ac fe a'i cwblhêir.

a Pen. 5. 6.

3 A'r frenhines Esther a attebodd, ac a ddywedodd, O chefais ffafr yn dy olwg di, O frenhin, ac o rhyglydda bodd i'r brenhin, rhodder i mi fy einioes ar fy nymuniad, a'm pobl ar fy neisyfiad.

4 Canys [b] gwerthwyd ni, myfi a'm pobl, ‡ i'n dinystrio, i'n lladd, ac i'n difetha: ond pe gwerthasid ni yn gaeth-weision ac yn gaeth-forwynion, mi a dawswn â son, er nad yw'r gwrthwynebwr yn cystadlu colled y brenhin.

b Pen. 3. 9. a 4. 7.
‡ Nen, *fel y'n dinystrient, &c.*

5 ¶ Yna y llefarodd y brenhin Ahasferus, ac y dywedodd wrth Esther y frenhines, Pwy yw hwnnw? a pha le y mae efe, yr hwn § a glywai ar ei galon wneuthur felly?

§ Heb. *y llanwodd ei galon ef i wneuthur.*

6 A dywedodd Esther, Y gwrthwynebwr a'r gelyn *yw*'r Haman ddrygionus hwn. Yna Haman a ofnodd ‖ ger bron y brenhin a'r frenhines.

‖ Nen, *yngŵydd.*

7 ¶ A'r brenhin a gyfododd yn ei ddigllonedd o gyfeddach y gwin, *ac a aeth* i ardd y palas: a Haman a safodd i ymbil ag Esther y frenhines am ei einioes; canys efe a welodd fod drwg wedi ei barottôi yn ei erbyn ef oddi wrth y brenhin.

8 Yna y dychwelodd y brenhin o ardd y palas i dŷ cyfeddach y gwin. Ac yr oedd Haman wedi syrthio ar [c] y gwely *yr oedd* Esther arno. Yna y dywedodd y brenhin, Ai treisio'r frenhines hefyd *y mae efe* yn tŷ gyd â mi? † *Hwy'n gyntaf ag* yr aeth y gair allan o enau'r brenhin, hwy [d] a orchuddiasant wyneb Haman.

c Pen. 1. 6.
† *cyn gynted ag, &c.*
d Job 9. 24.

9 A [e] Harbonah un o'r ystafellyddion a ddywedodd yngŵydd y brenhin, Wele hefyd y crog-bren a barottôdd Haman i Mordecai, yr hwn a lefarodd ddaioni am y brenhin, yn sefyll yn nhŷ Haman, yn ddeg cufydd a deugain o uchder. Yna y dywedodd y brenhin, Crogwch ef ar hwnnw.

e Pen. 1. 10.

10 Felly hwy a grogasant Haman ar y pren a barasai efe ei ddarparu i Mordecai. Yna digllonedd y brenhin a lonyddodd.

## PEN. VIII.

Mehef. 2. P.

1 *Cyfodiad Mordecai. 3 Esther yn eiriol am alw llythyrau Haman yn eu hol. 7 Ahasferus yn rhoi cennad i'r Iuddewon i'w hymddiffyn eu hun. 15 Anrhydedd Mordecai, a llawenydd yr Iuddewon.*

Cylch 510.

YDwthwn hwnnw y rhoddodd y brenhin Ahasferus i'r frenhines Esther dŷ Haman gwrthwynebwr yr Iuddewon. A Mordecai a ddaeth o flaen y brenhin; canys Esther a fynegasai [a] beth *oedd* efe iddi hi.

a Pen. 2. 7

2 A'r brenhin a dynnodd ymaith [b] y fodrwy a gymmerasai efe oddi wrth Haman, ac a'i rhoddodd i Mordecai. Ac Esther a osododd Mordecai ar dŷ Haman.

b Pen. 3. 10.

3 ¶ Ac Esther a lefarodd drachefn ger bron y brenhin, ac a syrthiodd wrth ei draed ef; wylodd hefyd, ac ymbiliodd ag ef am fwrw ymaith ddrygioni Haman yr Agagiad, a'i fwriad yr hwn a fwriadasai efe yn erbyn yr Iuddewon.

4 A'r [c] brenhin a estynodd y deyrnwïalen aur tu ag at Esther. Yna Esther a gyfododd, ac a safodd o flaen y brenhin,

c Pen. 4. 11. a 5. 2.

5 Ac a ddywedodd, O bydd boddlon gan y brenhin, ac o chefais ffafr o'i flaen ef, ac *od ydyw*'r peth yn iawn ger bron y brenhin, a minnau'n gymmeradwy yn ei olwg ef; ysgrifener am alw yn ol lythyrau bwriad Haman fab Hammedatha'r Agagiad, † y rhai a 'sgrifenodd efe i ddifetha'r Iuddewon *sydd* trwy holl daleithiau'r brenhin.

† Nen, *yr hwn a sgrifenodd i ddinystrio &c.*

6 Canys pa fodd y gallaf edrych ar y drygfyd a gaiff fy mhobl? a pha fodd y gallaf edrych ar ddifetha fy nghenedl?

7 ¶ A'r brenhin Ahasferus a ddywedodd wrth Esther y frenhines, ac wrth Mordecai yr Iuddew, Wele tŷ Haman a roddais i Esther, a hwy a'i crogasant ef ar y pren, am iddo estyn ei law yn erbyn yr Iuddewon.

8 Ysgrifenwch chwithau hefyd dros yr Iuddewon fel y gweloch yn dda, yn enw'r brenhin, ac inseliwch â modrwy'r brenhin: canys yr ysgrifen a 'sgrifenwyd yn enw'r brenhin, ac a seliwyd â modrwy'r brenhin, [d] ni all neb ei dattroi.

d Pen. 1. 19. Dan. 6. 8, 12, 15.

9 [e] Yna y galwyd ysgrifenyddion y brenhin yr amser hwnnw yn y trydydd mis (hwnnw *yw* y mis Sifan) ar y trydydd *dydd* ar hugain o hono, a 'sgrifenwyd

e Pen. 3. 12.

(yn ol yr hyn oll a orchymynodd Mordechai)
at yr Iuddewon, ac at y rhaglawiaid, y pen-
naethiaid hefyd, a thywysogion y taleithiau,
f Pen. 1. 1. y rhai *oedd* f o India hyd Ethiopia, *sef* cant
g Pen. 1. a saith ar hugain o daleithiau, g i bob talaith
22. a 3. 12. wrth ei 'sgrifen, ac *at* bob pobl yn ol eu tafod-
iaith: at yr Iuddewon hefyd yn ol eu hys-
grifen hwynt, ac yn ol eu tafod-iaith.
10 Ac efe a 'sgrifenodd yn enw 'r brenhin
Ahasferus, ac a'i seliodd â modrwy 'r bren-
hin; ac a anfonodd lythyrau gyd â'r rhedeg-
wŷr yn marchogaeth ar feirch, dromedariaid,
mulod, *ac* ebolion cesig:
11 *Trwy*'r rhai y caniattaodd y brenhin
i'r Iuddewon, y rhai *oedd* ym mhob dinas,
ymgynnull, a sefyll am eu heinioes, i ddi-
nystrio, i ladd, ac i ddifetha holl allu'r bobl
a'r dalaith a osodai arnynt, yn blant ac
h Edrych yn wragedd, ac h i 'sglyfaethu eu hyspail
Pen. 9. 10, hwynt;
15, 16.
i Pen. 3. 13, 12 i Mewn un dydd, trwy holl daleith-
&c. a 9. 1. iau'r brenhin Ahasferus, *sef* ar y trydydd
*dydd* ar ddeg o'r deuddegfed mis, hwnnw *yw*
mis Adar.
13 Testun yr ysgrifen, i roddi gorchy-
† Heb. myn ym mhob talaith, a † gyhoeddwyd i
*ddat-* bob rhyw bobl; ac ar fod yr Iuddewon yn
*guddi-* barod erbyn y diwrnod hwnnw i ymddial ar
*wyd.* eu gelynion.
14 Y rhedegwŷr, y rhai oedd yn marchog-
aeth y dromedariaid *a*'r mulod, a aethant
ar frys, wedi eu gyrru trwy air y brenhin;
a'r gorchymyn a roddasid yn Susan y bren-
hinllys.
15 ¶ A Mordechai a aeth allan o ŵydd y
brenhin mewn brenhinol wisg o rudd-goch,
a gwŷn, ac â choron fawr o aur, ac *mewn*
k Edrych dillad sidan a phorphor; a k dinas Susan a
Pen. 3. 15. orfoleddodd ac a lawenychodd:
16 I'r Iuddewon yr oedd goleuni, a llawen-
ydd, a hyfrydwch, ac anrhydedd.
17 Ac ym mhob talaith, ac ym mhob
dinas, lle y daeth gair y brenhin a'i or-
chymyn, *yr oedd* llawenydd a hyfrydwch
gan yr Iuddewon, gwledd *hefyd* a diwrnod
daionus: a llawer o bobl y wlad a aethant
yn Iuddewon: oblegid arswyd yr Iuddewon
a syrthiasai arnynt hwy.

## PEN. IX.

Mehef. 3. B. 1 *Yr Iuddewon (trwy fod y llywodraethwŷr,*
*rhag ofn Mordechai, yn eu helpio hwynt) yn*
*lladd eu gelynion, a deng mab Haman.* 12
*Ahasferus, ar ddymuniad Esther, yn cani-*
*attáu diwrnod etto, i ladd ac i grogi meib-*
*ion Haman.* 20 *Gwneuthur dau ddiwrnod*
*y Purim yn wyliau.*

Cylch 509. FELLY a yn y deuddegfed mis (hwnnw
*yw* mis Adar) ar y trydydd dydd ar
a Pen. 8. 12. ddeg o hono, pan nesaodd gair y brenhin a'i
orchymyn i'w cwblhâu; yn y dydd y gobeith-
iasai gelynion yr Iuddewon y caent fod in-
goliaethu arnynt (ond yn y gwrthwyneb i
hynny *y bu*; canys yr Iuddewon a arglwydd-
iaethasant ar eu caseion)
2 Yr Iuddewon a ymgynnullasant yn eu
dinasoedd, trwy holl daleithiau 'r brenhin
Ahasferus, i estyn llaw yn erbyn y rhai
oedd yn ceisio niweid iddynt: ac ni safodd
neb yn eu hwynebau; canys eu harswyd a
syrthiasai ar yr holl bobloedd.
3 A holl dywysogion y taleithiau, a'r
pendefigion, a'r dugiaid, a'r rhai oedd yn
gwneuthur y gwaith *oedd* eiddo'r brenhin,
oedd yn cynnorthwyo'r Iuddewon: canys
arswyd Mordechai a syrthiasai arnynt hwy.

4 Canys mawr *oedd* Mordechai yn nhŷ'r
brenhin, a'i glod ef oedd yn myned trwy'r
holl daleithiau: o herwydd y gwr hwn
Mordechai oedd yn myned rhagddo, ac yn
cynnyddu.
5 Felly 'r Iuddewon a darawsant eu holl
elynion â dyrnod y cleddyf, a lladdedig-
aeth, a distryw; a gwnaethant i'w caseion
yn ol eu hewyllys eu hun.
6 Ac yn Susan y brenhinllys, yr Iuddew-
on a laddasant ac a ddifethasant bùm cant o
wŷr.
7 Parsandatha hefyd, a Dalphon, ac
Aspatha,
8 Poratha hefyd, ac Adalia, ac Aridatha,
9 Parmasta hefyd, ac Arisai, Aridai he-
fyd, a Fajezatha,
10 Deng mab Haman fab Hammedatha,
gwrthwynebwr yr Iuddewon, a laddasant
hwy: b ond nid estynasant eu llaw ar yr b Edrych
anrhaith. Pen. 8. 11.
11 ¶ Y dwthwn hwnnw nifer y lladdedig-
ion yn Susan y brenhin-dy a ddaeth ger
bron y brenhin.
12 A dywedodd y brenhin wrth Esther
y frenhines, Yr Iuddewon a laddasant ac
a ddifethasant yn Susan y brenhinllys,
bùm cant o wŷr, a deng mab Haman;
yn y rhan arall o daleithiau 'r brenhin
beth a wnaethant *hwy*? c beth gan hynny c Pen. 5. 6.
*yw* dy ddymuniad? ac fe a roddir it'; a a 7. 2.
pheth *yw* dy ddeisyfiad ym mhellach? ac fe
a'i gwneir.
13 Yna y dywedodd Esther, O rhyglydda
bodd i'r brenhin, caniattâer y foru i'r
Iuddewon *sydd* yn Susan wneuthur yn ol
y gorchymyn heddyw: a chrogant ddeng
mab Haman ar y pren.
14 A'r brenhin a ddywedodd am wneu-
thur felly, a'r gorchymyn a roddwyd yn
Susan: a hwy a grogasant ddeng mab
Haman.
15 Felly 'r Iuddewon, y rhai *oedd* yn Susan,
a ymgynnullasant ar y pedwerydd dydd ar
ddeg o fis Adar hefyd, ac a laddasant dri
chant o wŷr yn Susan: d ond nid estynasant d Adn. 10.
eu llaw ar yr yspail.
16 A'r rhan arall o'r Iuddewon, y rhai
*oedd* yn nhaleithiau 'r brenhin, a ymgasgla-
sant, ac a safasant am eu heinioes, ac a gaw-
sant lonyddwch gan eu gelynion, ac a ladd-
asant bymtheng mil a thri ugain o'u caseion:
ond nid estynasant eu llaw ar yr anrhaith.
17 Ar y trydydd dydd ar ddeg o fis Adar 509.
*y bu hyn*, ac ar y pedwerydd *dydd* ar ddeg
† o hono y gorphwysasant, ac y cynhaliasant † Heb.
ef yn ddydd gwledd a gorfoledd. *ynddo.*
18 Ond yr Iuddewon, y rhai *oedd* yn Su-
san, a ymgynnullasant ar y trydydd *dydd* ar
ddeg o hono, ac ar y pedwerydd *dydd* ar
ddeg o hono; ac ar y pymthegfed o hono y
gorphwysasant, a gwnaethant ef yn ddydd
cyfeddach a llawenydd.
19 Am hynny Iuddewon y pentrefydd, y
rhai oedd yn trigo mewn dinasoedd heb
gaerau, oedd yn cynnal y pedwerydd dydd
ar ddeg o'r mis Adar, e mewn llawenydd e Deut. 16.
a chyfeddach, ac yn ddiwrnod daionus, ac 11, 14.
f i anfon rhannau i'w gilydd. f Neh. 8. 10, 12.
20 ¶ A Mordechai a 'sgrifenodd y geiriau
hyn, ac a anfonodd lythyrau at yr holl
Iuddewon *oedd* trwy holl daleithiau 'r bren-
hin Ahasferus, yn agos ac ym mhell,
21 I ordeinio iddynt gadw 'r g pedwer- g Edrych
ydd dydd ar ddeg o fis Adar, a'r pymtheg- 2 Mac. 15.
fed dydd o hono, bob blwyddyn; 36.

22 Megis y dyddiau y cawsai 'r Iuddewon
ynddynt lonydd gan eu gelynion, a'r mis
yr hwn a ddychwelasai iddynt o dristwch
i lawenydd, ac o alar yn ddydd daionus:
gan eu cynnal hwynt yn ddyddiau gwledd
h Neh 8. 10. a llawenydd, a phawb h yn anfon anrhegion
i'w gilydd, a rhoddion i'r rhai anghenus.
23 A'r Iuddewon a gymmerasant arnynt
wneuthur fel y dechreuasent, ac fel y 'sgri-
fenasai Mordechai attynt.
24 Canys Haman mab Hammedatha'r
Agagiad, gwrthwynebwr yr holl Iuddewon,
a artaethasai yn erbyn yr Iuddewon, am eu
i Pen. 3. 7. difetha hwynt; ac i efe a fwriasai Pwr
† Heb. *lysigo.* (hwnnw *yw* y coel-bren) i'w † dinystrio
hwynt, ac i'w difetha:
k Pen. 7. 5, &c. a 8. 3, &c. Adn. 13, 14. 25 A k phan ddaeth ‡ *Esther* o flaen y
brenhin, efe a archodd trwy lythyrau,
ddychwelyd ei ddrwg-fwriad ef, yr hwn a
fwriadodd efe yn erbyn yr Iuddewon, ar ei
‡ Heb. *hi.* ben ei hun; a'i grogi ef a'i feibion ar y pren.
26 Am hynny y galwasant y dyddiau
§ Sef, *coel-bren.* hynny Pwrim, ar enw y § Pwr: am
l Adn. 20. hynny, o herwydd holl eiriau l y llythyr
hwn, ac *o herwydd* y peth a welsent hwy
am y peth hyn, a'r peth a ddigwyddasai
iddynt,
27 Yr Iuddewon a ordeiniasant, ac a
gymmerasant arnynt, ac ar eu had, ac ar yr
‖ Heb. *nad elai heibio.* holl rai oedd yn un â hwynt, ‖ na phallai
bod cynnal y ddau ddydd hynny, yn ol eu
hysgrifen hwynt, ac yn ol eu tymmor, bob
blwyddyn:
28 Ac *y byddai*'r dyddiau hynny i'w
cofio, ac i'w cynnal trwy bob cenhedlaeth,
a phob teulu, pob talaith, a phob dinas;
*sef* † na phallai y dyddiau Pwrim hynny † Heb. *nad elai heibio*
o fysg yr Iuddewon, ac na ddarfyddai eu
coffadwriaeth hwy o blith eu had.
29 Ac ysgrifenodd Esther y frenhines merch
Abihail, a Mordechai yr Iuddew, trwy eu holl
rym, i sicrhâu ail lythyr y Pwrim hwn.
30 Ac efe a anfonodd lythyrau at yr holl
Iuddewon, trwy'r cant a'r saith dalaith ar
hugain o frenhiniaeth Ahasferus, *â* geiriau
heddwch a gwirionedd;
31 I sicrhâu'r dyddiau Pwrim hynny yn
eu tymhorau, fel yr ordeiniasai Mordechai
yr Iuddew, ac Esther y frenhines, iddynt
hwy, ac fel yr ordeiniasent hwythau ‡ drost- ‡ Heb. *dros eu heneidiau.*
ynt eu hun, a thros eu had, eiriau yr ympry-
diau a'u gwaedd.
32 Ac ymadrodd Esther a gadarnhaodd
achosion y *dyddiau* Pwrim hynny: ac ys-
grifenwyd *hyn* mewn llyfr.

### PEN. X.

1 *Mawredd Ahasferus,* 3 *a chyfodiad Mordechai.*

A'R brenhin Ahasferus a osododd dreth ar Cylch 495.
y wlad, ac *ar* ynysoedd y môr.
2 A holl weithredoedd ei rym ef a'i
gadernid, a hyspysrwydd o fawredd Mor-
dechai, â'r hwn y mawrhaodd y brenhin ef,
onid *ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr
chronicl brenhinoedd Media a Phersia?
3 Canys Mordechai yr Iuddew *oedd* yn
nesaf i'r brenhin Ahasferus, ac yn fawr
gan yr Iuddewon, ac yn gymmeradwy ym
mysg lliaws ei frodyr; yn ceisio daioni i'w
bobl, ac yn dywedyd *am* heddwch i'w holl
† hiliogaeth. † *had.*

---

# ¶ LLYFR JOB. †

† Tybir mai *Moses* a ysgrifenodd Lyfr *Job*, tra'r oedd ym mhlith y *Midianiaid.*

### PEN. I.

Mehef. 3. P. S. Luc, P. 1 *Sancteiddrwydd Job, a'i gyfoeth, a'i dduwiol ofal dros ei blant.* 6 *Satan yn ymddangos ger bron Duw; a thrwy enllib yn cael cennad i demtio Job.* 13 *Job yn ei golled am ei olud a'i blant, ac yn ei alar, yn bendithio Duw.*

Cyn Crist cylch 1520. YR oedd gwr yngwlâd Us a'i enw a Job;
ac yr oedd y gwr hwnnw b yn berffaith
ac yn uniawn, ac yn ofni DUW, ac yn cilio
oddi wrth ddrygioni.
a Ezec. 14. 14. Iago 5. 11. 2 Ac iddo y ganwyd saith o feibion, a
thair o ferched.
b Pen. 2. 3. 3 A'i † olud oedd saith mil o ddefaid, a
† Neu, *anifeiliaid,* neu, *dda.* thair mil o gamelod, a phum can iau o ychen,
a phum cant o asynod, a llawer iawn o
‡ Neu, *hwsmonaeth.* ‡ wasanaethyddion; ac yr oedd y gwr hwn
yn fwyaf o holl feibion y dwyrain.
4 A'i feibion ef a aent ac a wnaent wledd
yn eu tai, bob un *ar* ei ddiwrnod; ac a an-
fonent ac a wahoddent eu tair chwïorydd, i
fwytta ac i yfed gyd â hwynt.
5 A phan ddeuai dyddiau 'r wledd oddi
c 1 Bren. 21. 10, 13. amgylch, yna Job a anfonai ac a'u sanct-
eiddiai hwynt, ac a gyfodai 'n fore, ac a
d Pen. 2. 1. offrymmai boeth-offrymmau, *yn ol* eu rhifedi
e 1 Bren. 22. 19. Pen. 38. 7. hwynt oll: canys dywedodd Job, Fy meib-
ion ond odid a bechasant, ac c a felldithias-
e Heb. *a'r gwrthwynebwr.* Dat. 12. 9. 1 Chron. 21. 1. ant DDUW yn eu calonnau. Felly y gwnai
Job yr holl ddyddiau hynny.
6 ¶ A d dydd a ddaeth i e feibion DUW
ddyfod i sefyll ger bron yr ARGLWYDD;
§ a Satan hefyd a ddaeth yn eu ‖ plith
‖ Heb. *canol.* hwynt.
7 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth
Satan, O ba le'r ydwyt ti yn dyfod? A Sa-
tan a attebodd yr ARGLWYDD, ac a ddy-
wedodd, O f dramwy ar hyd y ddaear, ac o
ymrodio ynddi.
8 A dywedodd yr ARGLWYDD wrth Sa-
tan, A † ddeliaist ti ar fy ngwas Job, nad Cylch 1520.
*oes* gyffelyb iddo ar y ddaear, yn wr per-
ffaith ac uniawn, yn ofni DUW, ac yn cilio f Pen. 2. 2. Mat. 12. 43. 1 Petr 5. 8.
oddi wrth ddrygioni?
9 Yna Satan a attebodd yr ARGLWYDD, † Heb. *roddaist ti dy galon.*
ac a ddywedodd, Ai yn ddïachos y mae Job
yn ofni DUW?
10 Oni chaeaist o'i amgylch ef, ac o
amgylch ei dŷ, ac ynghylch yr hyn oll *sydd*
eiddo oddi amgylch? ti a fendithiaist waith
ei ddwylaw ef, a'i ‡ dda ef a gynnyddodd ‡ Neu, *olud,* neu, *anifeiliaid.*
ar y ddaear.
11 g Eithr estyn yn awr dy law, a chy-
ffwrdd â'r hyn oll *sydd* ganddo, § ac efe a'th g Pen. 2. 5. a 19. 21.
felldithia o flaen dy wyneb.
12 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth § Heb. *oni 'th felldithia,*
Satan, Wele'r hyn oll *sydd* eiddo ef yn dy
law di; yn unig yn ei erbyn ef ei hun nac
estyn dy law. Felly Satan a aeth allan oddi
ger bron yr ARGLWYDD.
13 ¶ A dydd a ddaeth, pan *oedd* ei feibion
ef a'i ferched yn bwytta ac yn yfed gwin yn
nhŷ eu brawd hynaf.
14 A daeth cennad at Job, ac a ddywed-
odd, Yr ychen oedd yn aredig, a'r asynod
oedd yn pori ger llaw iddynt;
15 A'r Sabeaid a ruthrasant, ac a'u
dygasant ymaith; y llangciau hefyd a
darawsant hwy â min y cleddyf, a mi fy
hunan yn unig a ddïengais i fynegi i ti

16 Tra'r *oedd* hwn yn llefaru, un arall hefyd a ddaeth, ac a ddywedodd, Tân † Duw a syrthiodd o'r nefoedd, ac a losgodd y defaid, a'r gweision, ac a'u hysodd hwynt; ond myfi fy hunan yn unig a ddïengais i fynegi i ti.

† Neu, mawr.

17 Tra'r *ydoedd* hwn yn llefaru, un arall hefyd a ddaeth, ac a ddywedodd, Y Caldeaid a osodasant dair byddin, ac a ruthrasant i'r camelod, ac a'u dygasant ymaith, ac a darawsant y llangciau â min y cleddyf; a minnau fy hun yn unig a ddïengais i fynegi i ti.

18 Tra'r *ydoedd* hwn yn llefaru, un arall hefyd a ddaeth, ac a ddywedodd, Dy feibion a'th ferched oedd yn bwytta ac yn yfed gwin yn nhŷ eu brawd hynaf:

19 Ac wele, gwynt mawr a ddaeth ‡ oddi ar yr anialwch, ac a darawodd wrth bedair congl y tŷ, ac efe a syrthiodd ar y llangciau, a buant feirw; ond myfi fy hun yn unig a ddïengais i fynegi i ti.

‡ Heb. oddi-tros.

20 Yna y cyfododd Job, ac [h] a rwygodd ei fantell, ac a eilliodd ei ben, ac a syrthiodd i lawr, ac a addolodd;

h Gen. 37. 29.

21 Ac a ddywedodd, [i] Noeth y daethum o groth fy mam, a noeth y dychwelaf yno. Yr ARGLWYDD a roddodd, a'r ARGLWYDD a ddygodd ymaith; bendigedig fyddo enw'r ARGLWYDD.

i Preg. 5. 15. 1 Tim. 6. 7.

22 Yn hyn i gyd ni phechodd Job, ac ni roddodd § yn ynfyd *ddim* yn erbyn Duw.

§ Neu, ynfydrwydd erbyn.

## PEN. II.

Mehef. 4. B.

1 *Satan yn ymddangos ger bron Duw, ac yn cael cennad etto i demtio Job; 7 ac yn ei daro ef â chornwydydd blin. 9 Job yn ceryddu ei wraig am geisio gantho felldithio Duw. 11 Ei dri chyfaill yn cyd-ddolurio ag ef mewn distawrwydd.*

Cylch 1520.

A [a] Dydd a ddaeth i feibion Duw ddyfod i sefyll ger bron yr ARGLWYDD; a Satan hefyd a ddaeth yn eu plith hwynt i sefyll ger bron yr ARGLWYDD.

a Pen. 1. 6.

2 [b] A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Satan, O ba le'r ydwyt ti yn dyfod? A Satan a attebodd yr ARGLWYDD, ac a ddywedodd, O dramwy ar hŷd y ddaear, ac o ymrodio ynddi.

b Pen. 1. 7.

3 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Satan, A ddeliaist ti ar fy ngwas Job, nad *oes* gyffelyb iddo ar y ddaear, [c] yn wr perffaith ac uniawn, yn ofni Duw, ac yn cilio oddi wrth ddrygioni? ac yn parhâu yn ei berffeithrwydd, er i ti fy annog i yn ei erbyn ef, [d] i'w † ddifa ef heb achos?

c Pen. 1. 1, 8.
d Pen. 9. 17.
† Heb. lyngcu.

4 A Satan a attebodd yr ARGLWYDD, ac a ddywedodd, Croen am groen, a'r hyn oll *sydd* gan wr a ddyry efe am ei einioes.

5 [e] Eithr estyn yn awr dy law, a chyffwrdd â'i esgyrn ef ac â'i gnawd, ac efe a'th felldithia di o flaen dy wyneb.

e Pen. 1. 11.

6 [f] A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Satan, Wele ef yn dy law di; ‡ etto cadw ei hoedl ef.

f Pen. 1. 12.
‡ Neu, yn unig.

7 ¶ Felly Satan a aeth allan oddi ger bron yr ARGLWYDD, ac a darawodd Job â chornwydydd blin, o wadn ei droed hyd ei gorun.

8 Ac efe a gymmerth gragen i ymgrafu â hi; ac [g] a eisteddodd yn y lludw.

g Pen. 42. 6. Mat. 11. 21.

9 ¶ Yna ei wraig a ddywedodd wrtho, A wyt ti etto 'n parhâu yn dy berffeithrwydd? melldithia DDUW, a bydd farw.

10 Ond efe a ddywedodd wrthi, Llefaraist fel y llefarai un o'r ynfydion: a dderbyniwn ni gan DDUW'r hyn sy dda, ac oni dderbyniwn yr hyn sydd ddrwg? Yn hyn i gyd ni phechodd Job â'i wefusau.

11 ¶ A phan glybu tri chyfaill Job yr holl ddrwg yma a ddigwyddasai iddo ef, hwy a ddaethant bob un o'i fangre ei hun, Eliphaz y Temaniad, a Bildad y Suhiad, a Sophar y Naamathiad: canys hwy a gyttunasent i ddyfod [h] i gyd-ofidio ag ef, ac i'w gysuro.

h Pen. 42. 11.

12 A phan ddyrchafasant eu llygaid o bell, ac heb ei adnabod ef, hwy a ddyrchafasant eu llef, ac a wylasant; rhwygasant hefyd bob un ei fantell, a [i] thaenasant lwch ar eu pennau tu a'r nefoedd.

i Neh. 9. 1. Galar. 2. 10. Ezec. 27. 30.

13 Felly hwy a eisteddasant gyd ag ef ar y ddaear saith niwrnod a saith noswaith; ac nid oedd *neb* a ddywedai air wrtho ef: canys gwelent fyned *ei* ddolur *ef* yn fawr iawn.

## PEN. III.

1 *Job yn melldithio dydd ei enedigaeth.* 13 *Esmwythder marwolaeth.* 20 *Job yn flin gantho ei einioes, o achos ei gystudd.*

Mehef. 4. P.

WEDI hyn Job a agorodd ei enau, ac a felldithiodd ei ddydd.

Cylch 1520.

2 A Job a lefarodd, ac a ddywedodd,

3 [a] Darfydded am y dydd y'm ganwyd ynddo, a'r nos y dywedwyd, Ynnillwyd gwrryw.

a Pen. 10. 18, 19. Jer. 15. 10. a 20. 14.

4 Bydded y dydd hwnnw yn dywyllwch, *a* Duw oddi uchod heb ei ystyried; ac na thywynned llewyrch arno.

5 Tywyllwch a [b] chysgod marwolaeth a'i halogo, ac arhosed cwmmwl arno; † dued y diwrnod a'i dychryno.

b Pen. 16. 16. Psal. 23. 4.
† Neu, dychrynant ef fel rhai chwerw eu diwrnod.

6 Y nos honno, tywyllwch a'i cymmero; ‡ na chydier hi â dyddiau'r flwyddyn, ac na ddeued i rifedi'r misoedd.

‡ na lawenyched ym mysg dyddiau, &c.

7 Bydded y noswaith honno yn unig, ac na fydded gorfoledd ynddi.

8 A'r rhai a felldithiant y dydd, ac sy barod i gyffroi § eu galar, a'i melldithio hi.

Amos 8. 10.
§ Neu, lefiathan.

9 A bydded ser ei chyf-ddydd hi yn dywyll: disgwylied am oleuni, ac na *fydded iddi*; ac na chaffed weled || y wawr ddydd:

|| Heb. amrantau y wawr.

10 Am na chaeodd ddrysau croth fy *mam*, ac na chuddiodd ofid oddi wrth fy llygaid.

11 [c] Pa ham na bûm farw o'r bru? *na* threngais *pan* ddaethum allan o'r groth?

Pen. 41. 18.
c Pen. 10. 18.

12 Pa ham y derbyniodd gliniau fyfi? a pha ham *y cefais* fronnau i sugno?

13 O herwydd yn awr mi a gawswn orwedd, a gorphwys, *a* huno: yna *y buasai* llonyddwch i mi;

14 Gyd â brenhinoedd a chynghorwŷr y ddaear, y rhai [d] a adeiladasant iddynt eu hunain fannau anghyfannedd;

d Pen. 15. 28.

15 Neu gyd â thywysogion *ag* aur ganddynt, y rhai a lanwasant eu tai ag arian;

16 Neu [e] fel erthyl cuddiedig, ni buaswn ddim; megis plant bychain heb weled goleuni.

e Psal. 58. 8.

17 Yno yr annuwiolion a beidiant â'u cyffro; ac yno y gorphwys y rhai † lluddedig.

† Heb. lluddedig o nerth.

18 Y rhai a garcharwyd a gânt *yno* lonydd ynghŷd; [f] ni chlywant lais y gorthrymydd.

f Pen. 39. 7.

19 Bychan a mawr *sydd* yno; a'r gwas a ryddhawyd oddi wrth ei feistr.

20 Pa ham y rhoddir goleuni i'r hwn sydd mewn llafur, a bywyd i'r gofidus ei enaid?

g Dat. 9. 6. 21 Y rhai g sy'n disgwyl am farwolaeth
ac heb ei *chael;* ac yn cloddio am dani yn
fwy nag am drysorau cuddiedig?
22 Y rhai a lawenychant mewn hy-
frydwch, *ac* a orfoleddant, pan gaffont y
bedd?
23 *Pa ham y rhoddir goleuni* i'r dyn y
h Pen. 19. 8. mae ei ffordd yn guddiedig, h ac y cauodd
Galar. 3. 7. Duw arno?
24 Oblegid o flaen fy mwyd y daw fy
uchenaid; a'm rhuadau a dywelltir megis
dyfroedd.
† Heb. *yr ofn a ofnais.* 25 Canys † yr hyn a fawr ofnais a ddaeth
arnaf, a'r hyn a arswydais a ddigwyddodd
i mi.
26 Ni chefais na llonydd nac esmwyth-
dra, ac ni orphwysais: er hynny daeth
cynnwrf.

## PEN. IV.

Mehef. 5. B. 1 *Eliphaz yn ceryddu Job am na bai gantho
ffydd,* 7 *yn dangos nad ar y cyfiawn, ond
ar yr anwir y daw barnedigaethau Duw.*
12 *Ei weledigaeth erchyll ef, i ddarostwng
godidowgrwydd y creaduriaid ger bron
Duw.*

Cylch 1520. YNA Eliphaz y Temaniad a attebodd ac
a ddywedodd,
2 *Pe* profem ni air wrthyt, a fyddai
blin gennyt ti? ond pwy a all attal *ei* ym-
adroddion?
3 Wele, ti a ddysgaist lawer, ac a gryf-
heaist ddwylaw wedi llaesu.
4 Dy ymadroddion a godasant i fynu yr
a Esay 35. 3. hwn oedd yn syrthio; a thi a a nerthaist
y gliniau oedd † yn cammu.
† Heb. *ir.* 12. 5 Ond yn awr, daeth arnat tithau, ac y
mae'n flin gennyt; cyffyrddodd â thi, a
chyffroaist.
6 Onid *dyma* dy ofn di, dy hyder, per-
ffeithrwydd dy ffyrdd, a'th obaith?
b Psal. 7. 14. 7 Cofia, attolwg, pwy, *ac* efe'n ddini-
Diar. 22. 8. weid, a gollwyd? a pha le y torrwyd y rhai
Hos. 10. 13. Gal. 6. 7, 8. uniawn ymaith?
‡ Esay 30. 33. 8 Hyd y gwelais i, b y rhai a arddant
anwiredd, ac a hauant ddrygioni, a'u
Edrych Exod. 15. 8. medant.
9 Gan anadl Duw y difethir hwynt, a
Pen. 1. 19. a 15. 30. chan ‡ chwythad ei ffroenau ef y dar-
Esay 11. 4. fyddant.
2 Thes. 2. 8. 10 Rhuad y llew, a llais y llew creulon,
c Psal. 58. 6. a c dannedd cenawon y llewod a dor-
rwyd.
d Psal. 34. 10. 11 d Yr hen lew a fethodd o eisiau
ysglyfaeth; a chenawon y llew mawr a
wasgarwyd.
§ Heb. *lladrad-aidd.* 12 Ac attaf fi y dygwyd gair yn § ddirgel:
a'm clust a dderbyniodd ychydig o hono.
e Pen. 33. 15. 13 e Ym mhlith meddyliau *yn dyfod* o
weledigaethau'r nos, pan syrthio trymgwsg
|| Heb. *a gyfarfu â mi.* ar ddynion,
14 Ofn || a ddaeth arnaf, a dychryn, ac
† Heb. *i liaws fy esgyrn.* a wnaeth † i'm holl esgyrn grynu.
15 Yna yspryd a aeth heibio o flaen fy
‡ Neu, *mi a glywais lef ddistaw.* wyneb; ac a wnaeth i flew fy nghnawd
sefyll.
16 Efe a safodd ac nid adwaenwn ei
agwedd ef: drychiolaeth *oedd* o flaen fy
f Pen. 9. 2. llygaid, ‡ *bu* distawrwydd, a mi a glywais
g Pen. 15. 15. a 25. 5. lef *yn dywedyd,*
2 Petr 2. 4. 17 f A fydd dyn marwol yn gyfiawnach
§ Neu, *nac yn ei angylion, yn y rhai y dododd oleuni.* nâ Duw? a fydd gwr yn burach nâ'i
wneuthurwr?
18 Wele, g yn ei wasanaethwŷr ni roddes
ymddiried; § ac yn erbyn ei angylion y
gosododd ynfydrwydd:

19 Pa faint llai ar y rhai sydd yn trigo
mewn h tai o glai, y rhai *sy* â'u sail mewn h 2 Cor. 5.
pridd, y rhai a falurir yn gynt nâ gwŷ- 1.
fyn?
20 i O'r bore hyd hwyr y malurir hwynt; i Psal. 90.
difethir hwynt yn dragywydd heb *neb* yn 5.
ystyried.
21 k Onid aeth y rhagoriaeth oedd yn- k Psal. 39.
ddynt ymaith? l hwy a fyddant feirw, ac 11. a 49. 14.
nid mewn doethineb. l Pen. 36. 12.

## PEN. V.

1 *Y niweid a ddaw o cisiau ystyried.* 3 Mehef. 5.
*Aflwydd yw diwedd yr annuwiol.* 6 *Rhaid* P.
*yw cofio Duw mewn adfyd.* 17 *Dedwydd
ddiwedd ceryddon Duw.*

GALW yn awr, od oes *neb* a etteb i ti, Cylch
ac at bwy o'r saint † y troi di? 1520.
2 Canys digllondeb a ladd yr ynfyd, a † Neu, *yr ynfyd.*
‡ chynfigen a ladd yr annoeth.
3 a Mi a welais yr ynfyd yn gwreiddio: ‡ Neu, *digllondeb.*
ac a felldithiais ei drigfa ef yn ddisym-
mwth. a Psal. 37.
4 b Ei feibion ef a bellhêir oddi wrth 35.
iachawdwriaeth: dryllir hwynt hefyd yn b Psal. 119.
y porth, ac nid *oes* gwaredydd. 155. a 127. 5.
5 Yr hwn y bwytty'r newynog ei gyn-
hauaf, wedi iddo ei gymmeryd o blith
drain, c a'r § sychedig a lwngc eu cy- c Pen. 18.
foeth. 9.
6 Er na ddaw || cystudd allan o'r pridd, § Neu, *ysgly-*
ac na flagura gofid allan o'r ddaear: *faethwr.*
7 Ond dyn a aned i † flinder, fel ‡ yr || Neu,
eheda gwreichionen i fynu. *anwiredd.*
8 Etto myfi a ymgynghorwn â Duw: ac † Neu,
ar Dduw y rhoddwn fy achos: *lafur.*
9 d Yr hwn sydd yn gwneuthur peth- ‡ Heb.
au mawrion ac anchwiliadwy; rhyfeddol *y mae plant y*
§ heb rifedi: *farwydos*
10 Yr hwn sydd yn rhoddi gwlaw ar *yn ym-*
wyneb y ddaear; ac yn danfon dyfroedd *godi i hedeg.*
ar wyneb y || meusydd: d Pen. 9.
11 e Gan osod rhai isel mewn uchel- 10. a 37. 5.
der; fel y dyrchefir y galarus i iachawdwr- Psal. 40. 5.
iaeth. a 72. 18. a 145. 3.
12 f Efe sydd yn diddymmu amcanion y Ruth 11.
cyfrwys, fel na allo eu dwylaw ddwyn dim 33.
i ben. § Heb. *nes bod heb*
13 g Efe sydd yn dal y doethion yn eu *rifedi.*
cyfrwysdra: a chyngor y cyndyn a ddi- || Heb.
ddymmir. *lleoedd*
14 h Liw dydd y † cyfarfyddant â thy- *oddi allan,*
wyllwch, a hwy a balfalant hanner dydd neu,
megis lliw nos. *heolydd.*
15 Yr hwn hefyd a achub y tlawd rhag e 1 Sam. 2.
y cleddyf, rhag eu safn hwy, a rhag llaw 7.
y cadarn. Psal. 113. 7.
16 i Felly y mae gobaith i'r tlawd, ac f Neh. 4.
anwiredd yn cau ei safn. 15.
17 k Wele gwŷn ei fyd y dyn a geryddo Psal. 33. 10.
Duw; am hynny na ddiystyra gerydd yr Esay 8. 10.
Hollalluog. g 1 Cor. 3. 19.
18 l Canys efe a glwyfa, ac a rwym: efe h Deut. 28.
a archolla, a'i ddwylaw ef a iachânt. 29.
19 m Mewn chwech o gyfyngderau efe Esay 59. 10.
a'th wared di; ïe mewn saith ni chyffwrdd Amos 8. 9.
drwg â thi. † Neu,
20 n Mewn newyn efe a'th wared rhag *rhedant i dywyllwch.*
marwolaeth: ac mewn rhyfel rhag ‡ nerth
y cleddyf. i Psal. 107.
21 o § Rhag ffrewyll tafod y'th guddir; 42.
ac ni ofni rhag dinystr pan ddelo. k Diar. 3. 12.

Heb. 12. 5. Iago 1. 12. Dat. 3. 19. l Deut. 32. 39. 1 Sam. 2. 6. Esay 30. 26. Hos. 6. 1. m Psal. 91. 3. Diar. 24. 16. n Psal. 33. 19. a 37. 19. ‡ Heb. *llaw.* o Psal. 31. 20. § Neu, *Pan ffrewyllio y tafod.*

22 Mewn dinystr a newyn y chwerddi; ᵖ ac ni ofni rhag bwystfilod y ddaear.

23 Canys ᑫ â cherrig y maes y byddi mewn cyngrair; a bwystfil y maes hefyd fydd heddychol â thi.

24 A thi a gei wybod † y bydd heddwch yn dy luest: a thi a ymweli â'th drigfa, ac ni ‡ phechi.

25 A chei wybod hefyd mai § lliosog fydd dy had, a'th hiliogaeth megis gwellt y ddaear.

26 Ti a ddeui mewn henaint i'r bedd, fel y cyfyd ysgafn o ŷd yn ei hamser.

27 Wele hyn, ni a'i chwiliasom, felly y mae: gwrando hynny, a gwybydd er dy lwyn dy hun.

ᵖ Esay 11. 9. a 35. 9. a 65. 25. Ezec. 34. 25. Hos. 2. 18.
ᑫ Psal. 91. 12.
† Neu, ma: heddwch yw dy luest.
‡ Neu, chyfeiliorni.
§ Neu, mawr.

## PEN. VI.

*1 Job yn dangos nad heb achos y mae yn*
*cwyno: 8 yn deisyf cael marw, ac felly yn*
*sier ganddo y caiff gysur: 14 yn argyoeddi*
*ei gyfeillion o angharedigrwydd.*

Mehef. 6. B.

Cylch 1520.

A Job a attebodd ac a ddywedodd,

2 O gan bwyso na phwysid fy ngofid, ac na chyd-godid fy nhrychineb mewn cloriannau!

3 Canys yn awr trymmach fyddai ᵃ nâ thywod y môr: am hynny y pallodd geiriau gennyf.

4 ᵇ O herwydd y mae saethau'r Hollalluog ynof, y rhai y mae eu gwenwyn yn yfed fy yspryd: ᶜ dychrynfaau Duw a ymfyddinasant i'm herbyn.

5 A rua asyn gwŷllt uwch ben glaswellt? a fref ŷch uwch ben ei borthiant?

6 A fwyttèir peth diflas heb halen? a oes flas ar wŷn ŵy?

7 Y pethau a wrthododd fy enaid eu cyffwrdd, sydd megis bwyd gofidus i mi.

8 O na ddeuai fy nymuniad! ac na roddai Duw'r hyn yr ydwyf yn ei ddisgwyl!

9 Sef rhyngu bodd i Dduw fy nryllio, a gollwng ei law yn rhydd, a'm torri ymaith.

10 Yna cysur a fyddai etto i mi, ïe mi a ymgaledwn mewn gofid; nac arbeded, canys ni chelais ymadroddion ᵈ y Sanctaidd.

11 Pa nerth sydd i mi i obeithio? a pha ddiwedd fydd i mi, fel yr estynwn fy hoedl?

12 Ai cryfdwr cerrig yw fy nghryfdwr? a ydyw fy nghnawd o bres?

13 Onid ydyw fy nghymmorth ynof fi? a fwriwyd doethineb yn llwyr oddi wrthyf?

14 † I'r cystuddiol y byddai trugaredd oddi wrth ei gyfaill; ond efe a adawodd ofn yr Hollalluog.

15 Fy mrodyr a'm twyllasant megis afon: ᵉ aethant heibio fel llifeiriant afonydd;

16 Y rhai a dduasant gan rew, ac yr ymguddiodd eira ynddynt:

17 Yr amser y cynhesant, hwy a dorrir ymaith: ‡ pan wresogo'r hin, hwy a ddarfyddant allan o'u lle.

18 Llwybrau eu ffordd hwy a giliant: hwy a ânt yn ddiddym, ac a gollir.

19 Byddinoedd Tema a edrychasant, minteioedd Seba a ddisgwyliasant am danynt.

20 Hwy a gywilyddiwyd, am iddynt obeithio; hwy a ddaethant hyd yno, ac a wladeiddiasant.

ᵃ Diar. 27. 3.
ᵇ Psal. 38. 2.
ᶜ Psal. 88. 15, 16.
ᵈ Lef. 19. 2. Esay 57. 15
† Heb. I'r hwn sydd yn toddi.
ᵉ Jer. 15. 18.
‡ Heb. yn eu gwres y diffoddant.

21 Canys yn awr § ᶠ nid ydych chwi ddim; chwi a welsoch fy nhaflu i lawr, ac a ofnasoch.

22 A ddywedais i, Dygwch i mi? neu, O'ch golud rhoddwch roddion drosof fi?

23 Neu, Gwaredwch fi o law y gelyn? neu, Rhyddhêwch fi o law y cedyrn?

24 Dysgwch fi, a myfi a dawaf: a gwnewch i mi ddeall ym mha beth y cam-gymmerais.

25 Mor gryfion ydyw geiriau uniondeb! ond pa beth a argyoedda argyoeddiad un o honoch chwi?

26 Ai argyoeddi ymadroddion a amcenwch chwi, a geiriau un dïobaith, y rhai sy megis gwŷnt?

27 Chwi a ‖ ruthrwch hefyd am ben yr amddifad, ac a gloddiwch bwll i'ch cyfaill.

28 Yn awr gan hynny byddwch foddlon; edrychwch arnaf fi; canys y mae † yn eglur i chwi os dywedaf gelwydd.

29 ᵍ Dychwelwch, attolwg, na fydded anwiredd; ïe trowch etto, y mae fy nghyfiawnder yn hyn.

30 A oes anwiredd yn fy nhafod? oni ddeall taflod fy ngenau gam flas?

§ Neu, tebyg ydych iddynt. Heb. iddo.
ᶠ Pen. 13. 4.
‖ Heb. bwrwch syrthwar.
† Heb. ger bron eich wyneb chwi.
ᵍ Pen. 17. 10.

## PEN. VII.

*1 Job yn ei esgusodi ei hun am ddeisyfu angau;*
*12 yn cwyno anesmwythed yw arno, 17 ac*
*mor wyliadwrus ydyw Duw.*

Mehef. 6. P.

Cylch 1520.

ONID oes † ᵃ amser terfynedig i ddyn ar y ddaear? onid yw ei ddyddiau ef megis dyddiau gwas cyflog?

2 Megis y dyheua gwas am gysgod, ac y disgwyl cyflog-ddyn wobr ei waith:

3 Felly y gwnaethpwyd i mi feddiannu ᵇ misoedd o oferedd, a nosweithiau blinion a osodwyd i mi.

4 ᶜ Pan orweddwyf, y dywedaf, Pa bryd y codaf, ac ‡ yr ymedy'r nos? canys caf ddigon o ymdrôi hyd y cyfddydd.

5 Fy nghnawd a wisgodd bryfed a thom priddlyd: fy nghroen a agennodd, ac a aeth yn ffiaidd.

6 ᵈ Fy nyddiau sydd gynt nâ gwennol gwehydd, ac a ddarfuant heb obaith.

7 Cofia mai ᵉ gwŷnt yw fy hoedl: ni § wel fy llygad ddaioni mwyach.

8 ᶠ Y llygad a'm gwelodd, ni'm gwel mwyach: dy lygaid sydd arnaf, ac nid ydwyf.

9 Fel y derfydd y cwmmwl, ac yr â ymaith: felly'r ᵍ hwn sydd yn disgyn i'r bedd, ni ddaw i fynu mwyach.

10 Ni ddychwel mwy i'w dŷ: ʰ a'i le nid edwyn ef mwy.

11 Gan hynny ni warafunaf i'm genau; mi a lefaraf ynghyfyngdra fy yspryd; myfi a gwynaf yn chwerwder fy enaid.

12 Ai môr ydwyf, neu forfil, gan dy fod yn gosod cadwriaeth arnaf?

13 ⁱ Pan ddywedwyf, Fy ngwely a'm cysura, fy ngorweddfa a esmwythâ fy nghwynfan;

14 Yna y'm brawychi â breuddwydion, ac a'm dychryni â gweledigaethau:

15 Am hynny y dewisai fy enaid ymdagu, a marwolaeth yn fwy nâ'm ‖ hoedl.

16 ᵏ Ffieiddiais einioes, ni fynnwn fyw byth: ˡ paid â mi, canys ᵐ oferedd ydyw fy nyddiau.

17 ⁿ Pa beth ydyw dyn, pan fawrhêit ef? a phan osodit dy feddwl arno?

† Neu, milwriaeth.
ᵃ Pen. 14. 13, 14. Psal. 39. 4.
ᵇ Edrych Pen. 29. 2.
ᶜ Deut. 28. 67. Pen. 17. 12.
‡ Heb. y mesurir yr hwyr?
ᵈ Pen. 9. 25. a 16. 22. a 17. 11. Psal. 90. 6. a 102. 11. a 103. 15. a 144. 4. Esay 38. 12. a 40. 6. Iago 4. 14.
ᵉ Psal. 78. 39. a 89. 47.
§ Heb. ddychwel fy llygad i weled daioni.
ᶠ Pen. 20. 9.
ᵍ 2 Sam. 12. 23.
ʰ Pen. 20. 9. Psal. 103. 16.
ⁱ Pen. 9. 27, 28.
‖ Heb. hesgyrn.
ᵏ Pen. 10. 1.
ˡ Pen. 10. 20. a 14. 6. Psal. 39. 13.

ᵐ Psal. 62. 9. ⁿ Psal. 8. 4. a 144. 3. Heb. 2. 6.

18 Ac ymweled ag ef bob bore, *a'i* brofi
ar bob moment?
19 Pa hŷd *y buddi* heb gilio oddi wrthyf,
ac na adewi fi yn llonydd tra llyngcwyf fy
mhoeryn?
[o] Psal. 36. 20 Myfi a bechais, beth a wnaf i ti, [o] O
6. geidwad dyn? pa ham [p] y gosodaist fi yn
[p] Pen. 16. nôd i ti, fel yr ydwyf yn faich i mi fy hun?
12. Psal. 21. 21 A pha ham na faddeui fy nghamwedd,
12. ac na fwri heibio fy anwiredd? canys yn
Galar. 3. awr yn y llwch y gorweddaf, a thi a'm ceisi
12. yn fore, ond ni *byddaf*.

## PEN. VIII.

Mebef. 7. 1 *Bildad yn dangos gyfiawnded ydyw Duw,*
8. *gan ei fod yn gwneuthur â phawb yn ol*
*ei weithred: 8 yn dangos o'r hen oesoedd*
*gynt, mor sicr yw dinystr y rhagrithiwr:*
*20 yn bwrw at Job gyfiawnder y gwna Duw*
*â phawb.*

Cylch 1520. YNA Bildad y Suhiad a attebodd ac a
ddywedodd,
2 Pa hŷd y dywedi di hynny? ac *y bydd*
geiriau dy enau *megis* gwŷnt cryf?
[a] Gen. 18. 3 [a] A wyra Duw farn? neu a wyra'r
25. Deut. 32. 4. Hollalluog gyfiawnder?
Pen. 34. 4 Os dy feibion a bechasant yn ei erbyn
17. ef; a bwrw o hono ef hwynt ymaith † am
2 Chron. eu camwedd;
19. 7. Dan. 9. 14. 5 [b] Os tydi a fore-godi at DDUW, ac a
Rhuf. 3. 5. weddïi ar yr Hollalluog;
† Heb. 6 Os pur ac uniawn *fyddi*, yn wir efe a
*trwy law* ddeffry attat ti yr awrhon, ac a wna drigfa
*eu cam-* dy gyfiawnder yn llwyddiannus.
*wedd.* [b] Pen. 5. 7 Er bod dy ddechreuad yn fychan: etto
8. a 11. 13. dy ddiwedd a gynnydda yn ddirfawr.
a 22. 23, &c. 8 [c] Oblegid gofyn, attolwg, i'r oes gynt,
[c] Deut. 4. ac ymbarottoa i chwilio eu hynafiaid hwynt.
32. 9 (Canys [d] *er* doe 'r ydym ni, ac ni wydd-
Pen. 15. om *ddim*, o herwydd cysgod *yw* ein dyddiau
18. ni ar y ddaear.)
[d] Gen. 47. 10 Oni ddysgant hwy di? *ac oni* ddywed-
9. 1 Chron. ant i ti? ac *oni* ddygant ymadroddion allan
29. 15. Pen. 7. 6. o'u calon?
Psal. 39. 5. 11 A gyfyd brwynen heb wlybaniaeth? a
a 144. 4. dyf hesg heb ddwfr?
[e] Psal. 129. 12 [e] Tra fyddo hi etto yn wŷrddlas heb
6. ei thorri, hi a wŷwa o flaen pob glas-
Jer. 17. 6. welltyn.
[f] Pen. 11. 13 Felly *y mae* llwybrau pawb a'r sydd yn
20. a 18. 14. gollwng Duw dros gof, ac [f] y derfydd am
Psal. 112. obaith y rhagrithiwr:
10. Diar. 10. 14 Yr hwn y torrir ymaith ei obaith; ac
28. *fel* [g] tŷ pryf coppyn *y bydd* ei hyder ef.
[g] Esay 59. 15 [h] Efe a bwysa ar ei dŷ, ond ni saif, efe
5, 6. a ymeifl ynddo, ond ni phery.
[h] Pen. 27. 16 Y mae efe yn îr o flaen yr haul, ac yn
18. ei ardd y daw ei frig allan.
17 Plethir ei wraidd ef ynghylch y pent-
wr, *ac* efe a wêl le cerrig.
[i] Pen. 7. 18 Os diwreiddia efe ef allan o'i le, [i] efe
10. Psal. 37. 36. a'i gwad ef, *gan ddywedyd*, Ni'th welais.
19 Wele, dyma lawenydd ei ffordd ef: ac
o'r ddaear y blagura eraill.
20 Wele, ni wrthyd Duw y perffaith, ac
nid ymeifl efe yn llaw y rhai drygionus;
21 Oni lanwo efe dy enau di â chwerthin,
‡ Heb. a'th wefusau â ‡ gorfoledd.
*bloedd* 22 A gwisgir dy gaseion di â chywilydd,
*gorfoledd.* ac ni bydd lluesty 'r annuwiol.

## PEN. IX.

Mebef. 7. 1 *Job yn cydnabod gyfiawnder yn Duw, ac yn*
15. *dangos nad gwiw ymryson ag ef. 22 Nad*
*wrth ei gystudd y mae barnu gwirionedd*
*dyn.*

YNA Job a attebodd ac a ddywedodd, Cylch
2 Yn wir mi a wn mai felly *y mae*: 1520.
canys pa fodd [a] y cyfiawnheir dyn gyd â [a] Psal. 143.
Duw? 2.
3 Os myn efe ymryson ag ef, ni all atteb
iddo *am* un *peth* o fil.
4 [b] Y *mae* efe yn ddoeth o galon, ac yn [b] Pen. 36.
alluog o nerth: pwy a ymgaledodd yn ei er- 5.
byn ef, ac a lwyddodd?
5 Yr hwn sydd yn symmud mynyddoedd,
ac heb wybod iddynt: yr hwn sydd yn eu
dymchwelyd hwynt yn ei ddigofaint.
6 Yr hwn sydd yn cynhyrfu'r ddaear
allan o'i lle, fel y cryno ei cholofnau hi.
7 Yr hwn a ddywed wrth yr haul, ac ni
chyfyd: ac a selia ar y sêr.
8 [c] Yr hwn yn unig sydd yn taenu 'r nef- [c] Gen. 1. 6.
oedd, ac yn sathru ar † donnau'r môr. Psal. 104. 2, 3.
9 [d] Yr hwn sydd yn gwneuthur ‡ Arctu- † Heb.
rus, Orïon, a Phleiades, a'stafelloedd y dehau. *uchel-*
10 [e] Yr hwn sydd yn gwneuthur pethau *derau.*
mawrion anchwiliadwy, a rhyfeddodau [d] Pen. 38.
aneirif. 31, &c. Amos 5. 8.
11 [f] Wele, efe a â heibio i mi, ac ni's ‡ Heb.
gwelaf *ef*; ac efe a â rhagddo, ac ni chan- *As, Cesil,*
fyddaf ef. *a Chimah.*
12 [g] Wele, efe a 'sglyfaetha, pwy a'i [e] Pen. 5. 9.
§ lluddia? pwy a ddywed wrtho, Pa beth yr Psal. 71. 15.
wyt yn ei wneuthur? [f] Pen. 23.
13 Oni thrŷ Duw ei ddigllonedd ym- 8, 9.
aith, dano ef y crymma cynnorthwywŷr [g] Esay 45.
‖ balchder. 9. Jer. 18. 6.
14 Pa faint llai'r attebaf iddo ef, *ac y* Rhuf. 9. 20
gallaf ddewis fy ngeiriau *i ymresymmu* ag ef? § Heb.
15 I'r hwn, pe bawn cyfiawn, nid attebwn, *a'i trŷ yn*
*eithr* ymbiliwn â'm barnwr. *ol?*
16 Pe galwaswn, a phed attebasai efe i mi, Pen. 11. 10.
ni chredwn y gwrandawai efe fy llefarydd. ‖ Neu,
17 Canys efe a'm dryllia â chorwŷnt, ac a *nerth.*
amlhâ fy archollion [h] yn ddïachos. [h] Pen. 2. 3.
18 Ni ddioddef efe i mi gymmeryd fy a 34. 6.
anadl: ond efe a'm lleinw â chwerwder.
19 Os *soniaf* am gadernid, wele ef yn
gadarn: ac os am farn, pwy a ddadleu
drosof fi?
20 Os myfi a ymgyfiawnhâf, fy ngenau
a'm barn yn euog: *os* perffaith *y dywedaf fy*
*mod*, efe a'm barn yn gildyn.
21 *Pe byddwn* berffaith, *etto* nid ad-
waenwn fy enaid: ffiaidd *fyddai* gennyf
fy einioes.
22 Dyma un *peth*, am hynny mi a'i
dywedais: [i] y mae efe yn difetha'r per- [i] Preg. 9.
ffaith a'r annuwiol. 2, 3.
23 Os lladd y ffrewyll yn ddisymmwth,
efe a chwardd am brofedigaeth y
diniweid.
24 Y ddaear a roddwyd yn llaw 'r an-
nuwiol: efe a fwrw hûg dros wynebau ei
barnwŷr hi: onid ê, pa le *y mae*, *a* phwy
*yw efe*?
25 [k] A'm dyddiau i sydd gynt nâ rhedeg- [k] Pen. 7. 6
wr: ffoant ymaith heb weled daioni.
26 Aethant heibio megis llongau † buain; † Heb.
[l] megis yr eheda eryr at ymborth. *dymuni-*
27 [m] Os dywedaf, Gollyngaf fy nghwyn *ad, neu,*
dros gof; mi a adawaf fy nhrymder, ac a *Ebeh.*
ymgysuraf: [l] Hab. 1. 8.
28 Yr wyf yn ofni fy holl ddoluriau: gwn [m] Pen. 7.
na'm berni yn wirion. 13.
29 Os euog fyddaf, pa ham yr ymlafuriaf yn
ofer?
30 [n] Os ymolchaf mewn dwfr eira, ac os [n] Jer. 2.
glanhâf fy nwylaw yn lân; 22.
31 Etto ti a'm trochi yn y pwll; a'm dillad
a'm ffieiddiant.

32 Canys ° nid gwr fel myfi *yw efe,* fel yr attebwn iddo, *ac* y delem ynghŷd i farn.
33 ᵖ Nid oes rhyngom ni † ddyddiwr a all osod ei law arnom ein dau.
34 ᵠ Tynned ymaith ei wïalen oddi arnaf; ac na ddychryned ei ofn ef fyfi:
35 Yna y dywedwn, ac nid ofnwn ef: ond nid felly ‡ y mae gyd â myfi.

° Preg. 6. 10. Esay 45. 9. Jer. 49. 19. Rhuf. 9. 20. ᵖ 1 Sam. 2. 25. Adn. 19. † Heb. *argyoeddwr,* neu, *resymmwr.* ᵠ Pen. 13. 20. a 33. 7. ‡ Heb. *myfi.*

## PEN. X.

1 *Job yn cymmeryd rhyddid i achwyn, ac yn ymliw â Duw o achos ei gystudd, 18 yn cwyno ei fod yn fyw, ac yn erfyn cael ychydig esmwythdra cyn ei farw.* — Mehef. 8. B.

Cylch 1520.

Y Mae ᵃ fy enaid † yn blino ar fy einioes: arnaf fy hun y gadawaf fy nghwyn; ac yn chwerwder fy enaid y llefaraf.
2 Dywedaf wrth Dduw, Na farn fi yn euog; gwna i mi wybod pa ham yr ymrysoni â mi.
3 Ai da i ti orthrymmu, fel y dïystyrit ‡ waith dy ddwylaw, ac y llewyrchit gyngor yr annuwiol?
4 Ai llygaid o gnawd sydd i ti? ai ᵇ fel y gwel dyn y gweli di?
5 *A ydyw* dy ddyddiau di fel dyddiau dyn? *a ydyw* dy flynyddoedd di fel dyddiau gwr,
6 Pan geisi fy anwiredd, a phan ymofyni am fy mhechod?
7 § Ti a wyddost nad ydwyf annuwiol; ac nid *oes* a waredo o'th law di.
8 Dy ddwylaw di a'm gweithiasant, ac a'm cyd-luniasant o amgylch; etto fy nifetha yr wyt.
9 Cofia, attolwg, mai ᶜ fel clai y gwnaethost fi; ac a ddygi di fi i'r pridd drachefn?
10 ᵈ Oni thywelltaist fi fel llaeth; ac oni cheulaist fi fel caws?
11 Ti a'm gwisgaist i â chroen, ac â chnawd; ti a'm ‖ diffynnaist i ag esgyrn ac â gïau.
12 Bywyd a thrugaredd a ddarperaist i mi, a'th ymgeledd a gadwodd fy yspryd.
13 A'r *pethau* hyn a guddiaist ti yn dy galon: gwn *fod* hyn gyd â thi.
14 Os pechaf, ti a'm gwyli, ac ni'm glanhêi oddi wrth fy anwiredd.
15 Os ydwyf annuwiol, gwae fi; ac ᵉ *os* cyfiawn ydwyf, *er hynny* ni chodaf fy mhen: *yr ydwyf* yn llawn o warthrudd, am hynny gwel fy nghystudd:
16 Canys cynnyddu y mae: ᶠ fy hela yr ydwyt fel llew creulon: er hynny drachefn ti a wnei yn rhyfedd â mi.
17 Yr wyt ti yn adnewyddu dy dystion i'm herbyn, ac yn amlhâu dy ddigofaint wrthyf; cyfnewidiau a rhyfel *sydd* i'm herbyn.
18 ᵍ Pa ham gan hynny y dygaist fi allan o'r groth? *O na* buaswn farw, ac na'm gwelsai llygad!
19 Mi a fuaswn megis pe na buaswn, a myfi a ddygasid o'r bru i'r bedd.
20 ʰ Onid ychydig *yw* fy nyddiau? ⁱ paid *gan hynny,* ᵏ gad i'm lonydd, fel yr ymgysurwyf ychydig;
21 Cyn myned o honof lle ni ddychwelwyf, i dir tywyllwch a chysgod angau;
22 Tir tywyllwch fel y fagddu, *a* chysgod angau, a heb drefn; *lle y mae* y goleuni fel y tywyllwch.

ᵃ Pen. 7. 16. † Neu, *wedi ei dorri ymaith tra fwyf byw.* ‡ Heb. *lafur.* ᵇ 1 Sam. 16. 7. § Heb. *Mae ar dy wybodaeth di.* ᶜ Gen. 2. 7. a 3. 19. ᵈ Psal. 139. 14, 15, 16. ‖ Heb. *cauaist.* ᵉ Pen. 9. 20. ᶠ Esay 38. 13. Galar. 3. 10. ᵍ Pen. 3. 11. ʰ Edrych Pen. 7. 16. a 8. 9. ⁱ Psal. 39. 13. ᵏ Pen. 7. 16. 19.

## PEN. XI.

1 *Sophar yn ceryddu Job am ei gyfiawnhâu ei hun, 5 ac yn dangos mor anchwiliadwy ydyw doethineb Duw. 13 Sicred yw bendith edifeirwch.* — Mehef. 8. P.

Cylch 1520.

A Sophar y Naamathiad a attebodd ac a ddywedodd,
2 Oni attebir amlder geiriau? ac a gyfiawnhêir gwr † siaradus?
3 Ai dy ‡ gelwyddau a wna i wŷr dewi? a phan watwarech, oni bydd a'th waradwyddo?
4 Canys ᵃ dywedaist, Pur *ydyw* fy nysgeidiaeth, a glân ydwyf yn dy olwg di.
5 Ond, O na lefarai Duw, ac *nad* agorai ei wefusau yn dy erbyn,
6 A mynegi i ti ddirgeledigaethau doethineb, eu bod yn ddau cymmaint a'r hyn sydd! cydnebydd gan hynny ᵇ i Dduw olyn gennyt lai nag a haeddai dy anwiredd.
7 ᶜ A elli di wrth chwilio gael gafael ar Dduw? a elli di gael yr Hollalluog hyd berffeithrwydd?
8 § Cyfuwch a'r nefoedd *ydyw,* beth a wnei di? dyfnach nag uffern *yw,* beth a elli di ei wybod?
9 *Mae* ei fesur ef yn hwy nâ'r ddaear ac yn llettach nâ'r môr.
10 ᵈ Os tyrr efe ymaith, ac os carchara: os casgl ynghŷd, pwy a'i ‖ rhwystra ef?
11 Canys ᵉ efe a edwyn ofer ddynion, ac a wel anwiredd; onid ystyria efe gan hynny?
12 ᶠ Dyn gwag er hynny a gymmer arno fod yn ddoeth; er geni dyn fel llwdn asen wyllt.
13 ᵍ Os dydi a barottôi dy galon, ac ʰ a estyni dy ddwylaw atto ef;
14 Od *oes* drygioni yn dy law, bwrw ef ymaith ym mhell, ac na ddioddef i anwiredd drigo yn dy luestai:
15 Canys yna ⁱ y codi dy wyneb yn ddifrychau; ïe byddi safadwy, ac nid ofni:
16 Oblegid ti a ollyngi *dy* ofid dros gof: fel dyfroedd *y rhai* a aethant heibio y cofi *ef.*
17 *Dy* oedran hefyd ᵏ a † fydd disgleiriach nâ hanner dydd; llewyrchi, *a* byddi fel y boreddydd.
18 Hyderus fyddi hefyd, o herwydd bod gobaith: ïe ti a gloddi, *ac* ˡ a orweddi mewn dïogelwch.
19 Ti a orweddi hefyd, ac ni *bydd* a'*th* ddychryno, a llawer ᵐ a ymbiliant â'th wyneb.
20 Ond llygaid yr annuwiolion a ddiffygiant, metha ganddynt ffoi, ⁿ a'u gobaith *fydd fel* ymadawiad yr enaid.

† Heb. *gwr gwefusau.* ‡ Neu, *ddychymmygion.* ᵃ Pen. 6. 10. a 10. 7. ᵇ Ezra 9. 13. ᶜ Preg. 3. 11. Rhuf. 11. 33. § Heb. *Uchelderau y nefoedd.* ᵈ Pen. 9. 12. a 12. 14. Dat. 3. 7. ‖ Neu, *try heibio?* Pen. 9. 12. ᵉ Psal. 10. 11, 14. a 35. 22. ᶠ Psal. 73. 22. a 92. 6. Preg. 3. 18. ᵍ Pen. 5. 8. a 22. 21. ʰ Psal. 88. 9. a 143. 6. ⁱ Pen. 22. 26. Edrych Gen. 4. 5, 6. ᵏ Psal. 37. 6. a 112. 4. Esay 58. 8. † Heb. *cyfyd uwchlâw.* ˡ Lef. 26. 5, 6. Psal. 3. 5. a 4. 8. Diar. 3. 24. ᵐ Psal. 45. 12. ⁿ Pen. 8. 14. a 18. 14.

## PEN. XII.

1 *Job yn ei ymddiffyn ei hun yn erbyn ei gyfeillion oedd yn ei geryddu; 7 yn cydnabod fod Duw yn hollalluog.* — Mehef. 9. B.

Cylch 1520.

A Job a attebodd ac a ddywedodd,
2 Dïau mai chwychwi *sy* bobl; a chyd â chwi y bydd marw doethineb.
3 Eithr ᵃ *y mae* gennyf fi † ddeall fel chwithau, nid ydwyf fi ‡ waeth nâ chwithau; § a phwy ni ŵyr y fath bethau a hyn?
4 ᵇ Yr ydwyf *fel* un a watworid gan ei

ᵃ Pen. 13. 2. † Heb. *galon.* ‡ Heb. *yn cwympo yn is nâ,* &c. § Heb. *a chyd â phwy nid yw y fath hyn?* ᵇ Pen. 16. 10. a 17. 2, 6. a 21. 3. a 30. 1.

gymmydog, yr hwn a eilw ar DDUW, ac
efe a'i hettyb: [c] gwatwor-gerdd *yw* y cyf-
iawn perffaith.
5 Lamp ddïystyr ym meddwl y llwydd-
iannus, *yw*'r hwn sydd barod i lithro â'i
draed.
6 [d] Llwyddiannus yw lluestai yspeilwŷr,
ac y mae dïogelwch i'r rhai sydd yn
cyffroi DUW, y rhai y cyfoethoga Duw
eu dwylaw.
7 Ond gofyn yn awr i'r anifeiliaid, a
hwy a'th ddysgant, ac i ehediaid yr awyr,
a hwy a fynegant i ti.
8 Neu dywed wrth y ddaear, a hi
a'th ddysg: a physgod y môr a hyspysant
i ti.
9 Pwy ni ŵyr yn y rhai hyn oll, mai llaw
yr ARGLWYDD a wnaeth hyn?
10 [e] Yr hwn *y mae* † einioes pob peth
byw yn ei law, ac anadl pob ‡ math ar
ddyn.
11 [f] Onid y glust a farna ymadroddion?
§ a'r genau a archwaetha ei fwyd?
12 Doethineb *sydd* mewn henuriaid; a
deall mewn hir ddyddiau.
13 [g] Gyd ag ef *y mae* doethineb a chad-
ernid, cyngor a deall sydd ganddo.
14 Wele, [h] efe a ddistrywia, ac nid
adeiledir: [i] efe a gau ar wr, ac nid agorir
arno.
15 Wele, efe a attal y dyfroedd, a hwy
a sychant: efe a'u denfyn hwynt, a hwy a
ddadymchwelant y ddaear.
16 [k] Gyd ag ef *y mae* nerth a doethineb:
efe bïau y twylledig, a'r twyllodrus.
17 Efe sydd yn gwneuthur i gynghoriaid
fyned yn anrhaith; ac [l] efe a ynfyda farn-
wŷr.
18 Efe sydd yn dattod rhwym brenhin-
oedd, ac yn rhwymo gwregys am eu llwyn-
au hwynt.
19 Efe sydd yn gwneuthur i dywysog-
ion fyned yn anrhaith; ac a blyga'r rhai
cedyrn.
20 [m] Efe sydd yn dwyn ymaith ‖ ym-
adrodd y ffyddlon; ac yn dwyn synwyr y
rhai hen.
21 [n] Efe sydd yn tywallt dïystyrwch ar
dywysogion; ac yn † gwanhâu nerth y rhai
cryfion.
22 [o] Efe sy yn datguddio *pethau* dyfnion
allan o dywyllwch; ac yn dwyn cysgod
angau allan i oleuni.
23 [p] Efe sydd yn amlhâu'r cenhedloedd,
ac yn eu distrywio hwynt: efe sydd yn
ehengi ar y cenhedloedd, ac efe a'u dwg
hwynt *i gyfyngdra.*
24 Efe sydd yn dwyn calon pennaethiaid
pobl y ddaear; ac [q] efe a wna iddynt grwy-
dro mewn anialwch heb ffordd.
25 Hwy a balfalant yn y tywyllwch heb
oleuni; ac efe a wna iddynt hwy gyfei-
liorni fel meddwŷn.

c Diar. 14. 2. — d Pen. 21. 7. Psal. 37. 1, 35. a 92. 7. a 73. 11, 12. Jer. 12. 1. Mal. 3. 15. — e Num. 16. 22. — † Neu, *enaid.* — ‡ Heb. *cnawd dyn.* — f Pen. 34. 3. — § Heb. *a thaflod y genau.* — Pen. 6. 30. — g Pen. 36. 5. — h Pen. 11. 10. — i Esay 22. 22. Dat. 3. 7. — k Adn. 13. — l 2 Sam. 15. 31. a 17. 14, 23. Esay 19. 12. 1 Cor. 1. 19. — m Pen. 32. 9. Esay 3. 2, 3. — ‖ Heb. *Gwefus y ffyddlon.* — n Psal. 107. 40. Dan. 2. 11. — † Heb. *dattod gwregys y cryfion.* — o Dan. 2. 22. Mat. 10. 26. 1 Cor. 4. 5. — p Psal. 107. 38. — q Psal. 107. 4, 40.

## PEN. XIII.

1 *Job yn argyhoeddi ei gyfeillion am eu bod yn dueddol,* 14 *yn dangos ei ymddiried yn Nuw,* 20 *ac yn dymuno cael gwybod ei bechodau, ac amcan Duw wrth ei gystuddio ef.*

Mehef. 9. B.

Cylch 1520.

WELE, fy llygad a welodd *hyn* oll; fy
nghlust a'i clywodd ac a'i deall-
odd.
2 [a] Mi a wn yn gystal a chwithau: nid
ydwyf waeth nâ chwithau.
3 [b] Yn wir myfi a lefaraf wrth yr Holl-
alluog, ac yr ydwyf yn chwennychu ym-
resymmu â DUW.
4 Ond rhai yn asio celwydd *ydych* chwi:
[c] meddygon diddym *ydych* chwi oll.
5 Oh gan dewi na thawech; a [d] *hynny* a
fyddai i chwi yn ddoethineb.
6 Clywch, attolwg, fy rheswm, a gwran-
dêwch ar ddadl fy ngwefusau.
7 [e] A ddywedwch chwi anwiredd dros
DDUW? ac a ddywedwch chwi dwyll er ei
fwyn ef?
8 A dderbyniwch chwi ei wyneb ef? a
ymrysonwch chwi dros DDUW?
9 Ai da *fydd hyn* pan chwilio efe chwi?
a dwyllwch chwi ef fel twyllo dyn?
10 Gan geryddu efe a'ch cerydda chwi,
os derbyniwch wyneb yn ddirgel.
11 Oni ddychryna ei ardderchowgrwydd
ef chwi? ac oni syrth ei arswyd ef ar-
noch?
12 Cyffelyb i ludw *ydyw* eich coffadwr-
iaeth chwi; a'ch cyrph i gyrph o glai.
13 Tewch, † gadêwch lonydd, fel y
llefarwyf finnau; a deued arnaf yr hyn *a
ddelo.*
14 Pa ham [f] y cymmeraf fy nghnawd
â'm dannedd? ac [g] y gosodaf fy einioes
yn fy llaw?
15 [h] Pe lladdai efe fi, etto mi a obeithiaf
ynddo ef: er hynny fy ffyrdd a ‡ ddiffynnaf
ger ei fron ef.
16 Hefyd efe *fydd* iachawdwriaeth i mi:
canys ni ddaw rhagrithiwr yn ei ŵydd ef.
17 Gan wrando gwrandêwch fy ymad-
rodd, ac a fynegwyf, â'ch clustiau.
18 Wele yn awr trefnais *fy* achos, gwn
y'm cyfiawnhêir.
19 Pwy ydyw'r *hwn* a ymddadleu â mi?
canys yn awr *os* tawaf, mi a drengaf.
20 [i] Ond dau *beth* na wna i mi: yna nid
ymguddiaf rhagot.
21 Pellhâ dy law oddi arnaf: ac na
ddychryned dy ddychryn fi.
22 Yna galw, a myfi a attebaf: neu myfi
a lefaraf, ac atteb di fi.
23 Pa faint o gamweddau ac o bechodau
*sy* ynof? par i mi wybod fy nghamwedd
a'm pechod.
24 [k] Pa ham y cuddi dy wyneb, ac [l] y
cymmeri fi yn elyn i ti?
25 [m] A ddryllî di ddeilen ysgwydedig? a
ymlidi di soflyn sych?
26 Canys yr wyt ti yn ysgrifenu pethau
chwerwon yn fy erbyn; ac yn [n] gwneuthur
i mi feddiannu camweddau fy ieuengctid.
27 Ac [o] yr ydwyt ti yn gosod fy nhraed
mewn cyffion, ac yn gwylied ar fy holl
lwybrau; *ac* yn nodi § gwadnau fy
nhraed.
28 ‖ Ac efe, megis pydrni a heneiddia,
fel dilledyn yr hwn a ysa gwŷfyn.

a Pen. 12. 3. — b Pen. 23. 3. a 31. 35. — c Pen. 6. 21. a 16. 2. — d Diar. 17. 28. — e Pen. 17. 5. a 32. 21. a 36. 4. — † Heb. *oddi wrthyf.* — f Pen. 18. 4 — g 1 Sam. 28. 21. Psal. 119. 109. — h Psal. 23. 4. Diar. 14. 32. — ‡ Heb. *brofaf, neu, argyhoeddaf* — i Pen. 9. 34 a 33. 7. — k Deut. 32. 20. Psal. 13. 1. — l Deut. 32. 42. Ruth 1. 21. Pen. 16. 9. a 19. 11. a 33. 10. Galar. 2. 5. — m Esay 42. 3. — n Psal. 25. 7. — o Pen. 33. 11. — § Heb. *gwraidd.* — ‖ *Y cyfryw un, &c.*

## PEN. XIV.

1 *Job yn ymbil â Duw am ei ffafr, o herwydd byrred oes dyn, a sicred marwolaeth.* 7 *Er na's gellir cael einioes, wedi ei cholli unwaith, etto y mae efe yn disgwyl am gael ei newidio.* 16 *Trwy bechod y mae'r creadur dan lygredigaeth.*

Mehef. 10. B.

Cylch 1520.

DYN a aned o wraig *sydd* fyr o ddydd-
iau, a [a] llawn o helbul.
2 [b] Fel blodeuyn y daw allan, ac y torrir
ef ymaith; ac efe a gilia fel cysgod, ac ni
saif.

a Preg. 2. 23. — b Pen. 8. 9. Psal. 90. 5, 6, 9. a 102. 11. a 103. 15. a 144. 4. Esay 40. 6. Iago 1. 10, 11. a 4. 14. 1 Pet. 1. 24.

3 A agori di dy lygaid ar y fath yma? ac a ddygi di fi i farn gyd â thi?

4 [c] Pwy a ddyry *beth* glân allan o *beth* aflan? neb.

c Gen. 5. 3. Psal. 51. 5. Ioan 3. 6. Rhuf. 5. 12. Eph. 2. 3.

5 [d] Gan *fod* ei ddyddiau ef wedi eu rhagderfynu, rhifedi ei fisoedd ef gyd â thi, a gosod o honot ei derfynau, fel nad êl drostynt:

d Pen. 7. 1.

6 [e] Tro oddi wrtho, fel y † gorphwyso, hyd oni orpheno, [f] fel gwas cyflog, ei ddiwrnod.

e Pen. 7. 16, 19. a 10. 20. Psal. 39. 13. † peidio. f Pen. 7. 1.

7 Canys y mae gobaith o bren, er ei dorri, y blagura efe etto, ac na phaid ei flagur ef *â thyfu*.

8 Er heneiddio ei wreiddyn ef yn y ddaear, a marweiddio ei foncyff ef yn y pridd;

9 Efe a flagura oddi wrth arogl dyfroedd, ac a fwrw ganghennau fel planhigyn.

10 Ond gwr a fydd marw, ac a dorrir ymaith; a dyn a drenga, a pha le *y mae?*

11 *Fel* y mae dyfroedd yn pallu o'r môr, a'r afon yn myned yn ddïysbydd, ac yn sychu:

12 Felly gwr a orwedd, ac ni chyfyd hyd [g] oni *byddo* heb nefoedd; ni ddihunant, ac ni ddeffroant o'u cwsg.

g Psal. 102. 26. Esay 51. 6. a 65. 17. a 66. 22. Act. 3. 21. Rhuf. 8. 20. 2 Petr 3. 7, 10, 11. Dat. 20. 11. a 21. 1.

13 O na chuddit fi yn y bedd! *na'm* cedwit yn ddirgel, nes troi dy lid ymaith; *na* osodit amser nodedig i mi, a'm cofio!

14 Os bydd gwr marw, a fydd efe byw *drachefn?* disgwyliaf holl ddyddiau fy milwriaeth, hyd oni ddelo fy nghyfnewidiad.

15 Gelwi, a myfi a'th attebaf; chwenychi waith dy ddwylaw.

16 Canys yr awr hon [h] y rhifi fy nghamrau: onid wyt yn gwylied ar fy mhechod?

h Pen. 10. 6, 14. a 31. 4. a 34. 21. Psal. 56. 8. a 139. 1, 2, 3. Diar. 5. 21. Jer. 32. 19.

17 Fy nghamwedd [i] a seliwyd mewn cod; a thi a wniaist i fynu fy anwiredd.

18 Ac yn wir, y mynydd a syrthio a ddiflanna; a'r graig a symmudir o'i lle.

i Deut. 32. 34. Hos. 13. 12.

19 Dyfroedd a dreuliant y cerrig; yr wyt yn ‡ golchi ymaith y pethau sy'n tyfu o bridd y ddaear, ac yn gwneuthur i obaith dyn golli.

‡ Heb. *llifeirio dros y pethau.*

20 Yr wyt yn ei orchfygu ef yn dragywydd, fel yr elo ymaith: a chan newidio ei wyneb ef, yr wyt yn ei ddanfon ef i ffordd.

21 Ei feibion ef a ddaw i anrhydedd, ac [k] ni's gwybydd efe: a hwy a ostyngir, ac ni ŵyr efe oddi wrthynt:

k Preg. 9. 5. Esay 63. 16.

22 Ond ei gnawd arno a ddoluria, a'i enaid ynddo a alara.

## PEN. XV.

Mehef. 10. P.

1 *Eliphaz yn ceryddu Job am ei annuwioldeb yn ei gyfiawnhâu ei hun;* 17 *ac yn profi o bennau'r hen bobl, mor anesmwyth yw'r annuwiol.*

Cylch 1520.

YNA Eliphaz y Temaniad a attebodd ac a ddywedodd,

2 A adrodd *gwr* doeth wybodaeth o wynt? ac a leinw efe ei fol â'r dwyreinwynt?

3 A ymresymma efe â gair ni fuddia? neu ag ymadroddion *y rhai* ni wna efe lesâd â hwynt?

4 Yn ddïau ti a † dorraist ymaith ofn: yr ydwyt yn attal ‡ gweddi ger bron Duw.

† Heb. *ddiddymmaist.* ‡ Neu, *ymadrodd.*

5 Canys dy enau § a draetha dy anwiredd: ac yr wyt yn dewis tafod y cyfrwys.

§ Heb. *sy yn dysgu.*

6 Dy enau di sydd yn dy fwrw yn euog, ac nid myfi: a'th wefusau sydd yn tystiolaethu yn dy erbyn.

7 A aned tydi yn gyntaf dyn? a [a] luniwyd tydi o flaen y bryniau?

a Psal. 90. 2. Diar. 8. 25.

8 [b] A glywaist ti gyfrinach Duw? ac a atteli di ddoethineb gyd â thi dy hun?

b Rhuf. 11. 34.

9 Beth a wyddost ti a'r na's gwyddom ni? *beth* a ddeelli di, heb fod hynny hefyd gennym ninnau?

10 [c] Y *mae* yn ein mysg ni y penllwyd, a'r oedrannus hefyd; hŷn o oedran na'th dad di.

c Pen. 32. 6, 7.

11 Ai bychan gennyt ti ddiddanwch Duw? a oes dim dirgel gyd â thi?

12 Pa beth sydd yn dwyn dy feddwl oddi arnat? ac ar ba beth yr amneidia dy lygaid,

13 Gan i ti droi dy feddwl yn erbyn Duw, a gollwng y *fath* eiriau allan o'th enau?

14 [d] Pa beth *yw* dyn, i fod yn lân? a'r hwn a aned o wraig, i fod yn gyfiawn?

d 1 Bren. 8. 46. 2 Chron. 6. 36.

15 [e] Wele, ni roddes efe ymddiried yn ei saint; a'r nefoedd nid ydynt lân yn ei olwg ef.

Pen. 14. 4. Psal. 14. 3. Diar. 20. 9. Preg. 7. 20. 1 Ioan 1. 8, 10.

16 [f] Pa faint mwy ffiaidd a drewedig *ydyw* dyn, [g] yr hwn sydd yn yfed anwiredd fel dwfr?

e Pen. 4. 18. a 25. 5.

17 Dangosaf i ti, gwrando arnaf; a'r hyn a welais a fynegaf.

f Psal. 14. 3. a 53. 3.

18 Yr hyn a fynegodd gwŷr doethion [h] oddi wrth eu tadau, ac ni's celasant:

g Pen. 34. 7. Diar. 19. 28.

19 I'r rhai yn unig y rhoddwyd y ddaear: ac ni ddaeth alldud yn eu plith hwy.

20 Holl ddyddiau'r annuwiol y bydd efe yn ymofidio: a rhifedi y blynyddoedd a guddiwyd oddi wrth y traws.

h Pen. 8. 8.

21 Trwst ‖ ofnadwy *sydd* yn ei glustiau ef: [i] mewn heddwch y daw y dinystrydd arno.

‖ Heb. *dychrynfeydd.* i 1 Thes. 5. 3.

22 Ni chred efe y dychwel allan o dywyllwch: ac y mae'r cleddyf yn gwylied arno.

23 Y mae efe [k] yn crwydro am fara, pa le *y byddo:* efe a ŵyr fod [l] dydd tywyllwch yn barod wrth ei law.

k Psal. 59. 15. a 109. 10. l Pen. 18. 12.

24 Cystudd a chyfyngdra a'i brawycha ef; *hwy* a'i gorchfygant, fel brenhin parod i ryfel.

25 Canys efe a estynodd ei law yn erbyn Duw; ac yn erbyn yr Hollalluog yr ymnerthodd.

26 Efe a rêd yn y gwddf iddo ef, trwy dewdwr torrau ei dariannau:

27 Canys efe a dodd ei wyneb â'i frasder: ac a wnaeth dyrch o *floneg* ar ei denewynnau.

28 A thrigo y mae mewn dinasoedd wedi eu dinystrio, *a* thai anghyfannedd, y rhai sydd barod i *fod* yn garneddau.

29 Ni chyfoethoga efe, ni phery ei olud ef chwaith; ac nid estyn efe eu perffeithrwydd hwy ar y ddaear.

30 Nid ymedy efe allan o dywyllwch, y fflam a wywa ei frig ef; ac efe a ymedy [m] trwy anadl ei enau ef.

m Pen. 4. 9.

31 *Yr hwn* a dwyllwyd nac ymddiried mewn oferedd: canys oferedd fydd ei wobr ef.

32 Efe a dorrir ymaith [n] cyn ei ddydd; a'i gangen ni lasa.

n Pen. 22. 16. Psal. 55. 23.

33 Efe a ddihidla ei rawn anaddfed fel gwinwŷdden; ac a fwrw ei flodeuyn fel olewŷdden.

34 Canys cynnulleidfa rhagrithwŷr *fydd* unig: a thân a ysa luestai gwobrwŷr.

o Psal. 7. 14. Esay 59. 4. Hos. 10. 13.

35 [o] Y maent yn ymddŵyn blinder, ac yn esgor ar † wagedd: a'u bol sydd yn darpar twyll.

† Neu, *gamwedd.*

## PEN. XVI.

Mehef. 12. B. 1 *Job yn beio ar ei gyfeillion, eu hanhrugarocced; 7 yn dangos mor dostur yw ei gyflwr, 17 ac yn ymddiffyn ei ddiniweidrwydd.*

Cylch 1520.
A Job a attebodd ac a ddywedodd,
2 Clywais lawer o'r fath hyn: a cy-
a Pen. 13. 4. surwŷr † gofidus *ydych* chwi oll.
† Neu, trafferthus. 3 Oni *cheir* diwedd ar eiriau ‡ ofer? neu
‡ Heb. gwynt? pa beth sydd yn dy gryfhâu di i atteb?
4 Mi a fedrwn ddywedyd fel chwithau:
b Psal. 22. 7. a 109. 25. pe byddai eich enaid chwi yn lle fy enaid
i, medrwn bentyrru geiriau i'ch erbyn, ac
b ysgwyd fy mhen arnoch.
Galar. 2. 15. 5 Ond mi a'ch cryfhâwn chwi â'm genau;
a symmudiad fy ngwefusau a esmwythaai
*eich gofid.*
6 Os llefaraf fi, nid esmwythâ fy nolur;
§ Heb. pa beth sydd yn myned oddi wrthyf? ac os peidiaf, § ai llai fy ngofid?
7 Ond yn awr efe a'm blinodd i; an-
rheithiaist fy holl gynnulleidfa:
8 A chroen-grychaist fi, a hynny sydd
dystiolaeth: a'm culni yn codi ynof, a dy-
stiolaetha yn fy wyneb.
c Pen. 10. 16, 17. 9 c Yn ei ddigllondeb *y'm* rhwyga yr hwn
a'm casâ: efe a ysgyrnyga ddannedd arnaf;
d Pen. 13. 24. d fy ngwrthwynebwr a flaenllymmodd ei
lygaid yn fy erbyn.
e Galar. 3. 30. 10 Hwy a ledasant eu safnau arnaf; e ta-
Michah 5. 1. rawsant fy nghernau yn ddirmygus; ymgas-
glasant ynghŷd yn fy erbyn.
f Pen. 1. 15, 17. 11 Duw f a'm || rhoddes i'r anwir; ac
a'm trodd i ddwylaw 'r annuwiolion.
|| Heb. hargaeodd. 12 Yr oeddwn yn esmwyth, ond efe a'm
drylliodd, ac a ymaflodd yn fy ngwddf, ac
g Pen. 7. 20. a'm drylliodd yn chwilfriw, ac g a'm cododd
yn nôd iddo ei hun.
13 Ei saethyddion ef sy yn fy amgylchu; y
mae efe yn hollti fy arennau, ac nid ydyw yn
arbed; y mae yn tywallt fy mustl ar y ddaear.
14 Y mae yn fy rhwygo â rhwygiad ar
rwygiad: y mae efe yn rhedeg arnaf fel
cawr.
15 Gwnïais sachlen ar fy nghroen, a
h Pen. 30. 19. h halogais fy nghorn yn y llwch.
16 Fy wyneb sy fudr gan wylo, a chysgod
marwolaeth *sydd* ar fy amrantau:
i Pen. 27. 6. 17 Er nad *oes* gamwedd yn fy nwylaw; a
*bod* fy ngweddi yn bur.
Psal. 66. 18, 19. 18 O ddaearen, na orchuddia fy ngwaed,
ac i na fydded lle i'm gwaedd.
† Heb. yw fy ngwawdwyr. 19 Wele hefyd yn awr fy nhyst yn y ne-
foedd; a'm tystiolaeth yn yr uchelder.
20 Fy nghyfeillion † *sydd* yn fy ngwawd-
k Pen. 31. 35. io: fy llygad a ddiferodd *ddagrau* wrth
Preg. 6. 10. Dduw.
Esay 45. 9. 21 k O *na* chai un ymddadleu â Duw
Rhuf. 9. 20. dros ddyn, fel mab dyn dros ei ‡ gym-
‡ Neu, gyfaill! mydog!
§ Heb. blynyddoedd rhif. 22 Canys *pan ddêl* § ychydig flynyddoedd,
yna mi a rodiaf lwybr *ar hŷd yr hwn* ni ddy-
chwelaf.

## PEN. XVII.

Mehef. 12. P. 1 *Job yn appelio oddi wrth ddynion at Dduw. 6 Y gall anhrugaredd dynion wrth y cystuddiol, beri i'r duwiol synnu; ond na's gall beri iddynt ddigalonni. 11 Nad mewn bywyd, ond mewn marwolaeth, y mae ei obaith ef.*

Cylch 1520.
FY † anadl a lygrwyd, fy nyddiau a ddi-
† Neu, yspryd a dreulwyd. ffoddwyd, beddau *sy barod* i mi.
2 Onid *oes* watwarwŷr gyd â mi? ac onid
yw fy llygad yn ‡ aros yn eu chwerwedd
‡ Heb. lettya. hwynt?
3 Dyro i lawr yn awr, dyro i mi feich-
iau gyd â thi: pwy *ydyw* efe a a dery ei law a Diar. 6. 1. a 17. 18. a 22. 26.
yn fy llaw i?
4 Canys cuddiaist eu calon hwynt oddi
wrth ddeall: am hynny ni ddyrchefi di
*hwynt.*
5 Yr hwn a ddywed weniaith i'w gyf-
eillion, llygaid ei feibion ef a ballant.
6 Yn ddiau efe a'm gosododd b yn ddiareb b Pen. 30. 9.
i'r bobl, ac § o'r blaen yr oeddwn megis
tympan iddynt. § Neu, o'u blaen hwynt.
7 Am hynny c y tywyllodd fy llygad gan
ddigllonedd, ac *y mae* fy || aelodau oll fel c Psal. 6. 7.
cysgod. || Neu, meddyliau.
8 Y rhai uniawn a synnant am hyn; a'r
diniweid a ymgyfyd yn erbyn y rhagrith-
iwr.
9 Y cyfiawn hefyd a ddeil ei ffordd; a'r
glân ei ddwylaw a 'chwanega gryfdwr.
10 Ond chwi oll, d dychwelwch, a deu- d Pen. 6. 29.
wch yn awr: am na chaf fi *ŵr* doeth yn eich
plith chwi.
11 e Fy nyddiau a aeth heibio, fy am- e Pen. 7. 6.
canion a dynned ymaith; *sef* † meddyliau a 9. 25.
fy nghalon. † Neu, meddianniau.
12 Gwnant y nos yn ddydd: ‡ byr *yw* 'r
goleuni, o herwydd tywyllwch. ‡ Heb. cyfagos.
13 Os disgwyliaf, y bedd *sydd* dŷ i mi:
mewn tywyllwch y cyweiriais fy ngwely.
14 Gelwais ar y pwll, Tydi *yw* fy nhad:
ar y pryf, Fy mam a'm chwaer *wyt.*
15 A pha le yn awr *y mae* fy ngobaith?
pwy hefyd a ganfydd fy ngobaith?
16 Disgynant i farrau'r pwll, pan *fyddo* f Pen. 3. 17,
*ein* f cyd-orphwysfa yn y llwch. 18, 19.

## PEN. XVIII.

1 *Bildad yn beio ar Job, am ei ryfyg a'i annioddefgarwch. 5 Trueni'r annuwiol.* A hon hefyd.

A Bildad y Suhiad a attebodd ac a ddy- Cylch
wedodd, 1520.
2 Pa *bryd* y derfydd eich ymadrodd?
ystyriwch, wedi hynny ninnau a lefarwn.
3 Paham y cyfrifed nyni fel anifeiliaid?
*ac* yr ydym yn wael yn eich golwg
chwi?
4 O a yr hwn sydd yn rhwygo ei enaid a Pen. 13.
yn ei ddigllondeb: ai er dy fwyn di y 14.
gadewir y ddaear? neu 'y symmudir y graig
allan o'i lle?
5 Ië, goleuni'r annuwiolion a ddi-
ffoddir, a gwreichionen ei dân ef ni
lewyrcha.
6 † Goleuni a dywylla yn ei luesty ef; a'i † Neu,
lusern a ddiffydd gyd ag ef. Canwyll.
7 Camrau ei gryfdwr ef a gyfyngir, a'i
gyngor ei hun a'i bwrw ef i lawr.
8 Canys b efe a deflir i'r rhwyd erbyn ei b Pen. 22.
draed, ac ar faglau y rhodia efe. 10.
9 Magl a ymaifl yn ei sawdl *ef*, c *a'r* gwill- c Pen. 5. 5.
iad fydd trech nag ef. d Pen. 15. 21.
10 Hoenyn a guddied iddo ef yn y Jer. 6. 25.
ddaear, a magl iddo ar y llwybr. a 20. 3. a 46.
11 d Braw a'i brawycha ef o amgylch, ac 5. a 49. 29.
a'i ‡ gyr i *gymmeryd* ei draed. ‡ Heb. gwasgara.
12 Ei gryfdwr fydd newynllyd, a e di- e Pen. 15.
nystr *fydd* parod wrth ei ystlys. 23.
13 Efe a ysa § gryfdwr ei groen ef: cynt- § Heb.
af-anedig angau a fwytty ei gryfdwr ef. juriau.
14 f Ei hyder ef a dynnir allan o'i f Pen. 8. 14.
luesty: a *hynny* a'i harwain ef at frenhin a 11. 20.
dychryniadau. Psal. 112. 10.
15 Efe a drig *yn* ei luest ef, am nad Diar. 10. 28.
eiddo ef *ydyw*: brwmstan a wasgerir ar ei g Pen. 29.
drigfa ef. 19.
16 g Ei wraidd a sychant oddi tanodd, Esay 5. 24.
a'i frig a dorrir oddi arnodd Amos 2. 9.
Mal. 4. 1.



A a

h Psal. 109. 13. Diar. 2. 22. a 10. 7.

17 h Ei goffadwriaeth a gollir o'r ddaear, ac ni bydd enw iddo ar wyneb yr heol.

† Heb. *Gyrrant ef allan.*

18 † Efe a yrrir allan o oleuni i dywyllwch: efe a ymlidir allan o'r byd.

i Esay 14. 22. Jer. 22. 30.

19 i Ni *bydd* iddo fab nac ŵyr ym mysg ei bobl; nac un wedi ei adael yn ei drigfannau ef.

‡ Heb. *ymaflasant mewn braw.*

20 Y rhai a ddêl ar *ei* ol, a synna arnynt o herwydd ei ddydd ef; a'r rhai o'r blaen a ‡ gawsant fraw.

21 Yn wir, dyma drigleoedd yr anwir; a dyma le *y dyn* nid edwyn DDUW.

## PEN. XIX.

Mehef. 13. B.

*1 Job yn cwyno greuloned yw ei gyfeillion; ac yn dangos fod ynddo ef ddigon o drueni i borthi eu creulondeb hwy. 21, 28 Yn ymbil am dosturi, 25 ac yn credu yr ailgyfodiad.*

Cylch 1520.

A Job a attebodd ac a ddywedodd,

2 Pa hŷd y cystuddiwch fy enaid? ac y'm drylliwch â geiriau?

a Gen. 31. 7. Lef. 26. 26.

3 a Dengwaith bellach y'm gwaradwyddasoch; ac nid cywilydd gennych ymgaledu i'm herbyn.

4 Hefyd pe *byddai* wir wneuthur o honof fi yn amryfus; gyd â mi y trig fy amryfusedd.

5 Yn wir os ymfawrygwch yn fy erbyn, a dadleu fy ngwaradwydd i'm herbyn:

6 Gwybyddwch yn awr mai DUW a'm dymchwelodd i, ac a'm hamgylchodd â'i rwyd.

7 Wele, llefaf rhag trawsder, ond ni'm hattebir: gwaeddaf, ond nid *oes* farn.

b Pen. 3. 23.

8 b Efe a gauodd fy ffordd, fel nad elwyf drosodd: y mae efe yn gosod tywyllwch ar fy llwybrau.

9 Efe a ddïosgodd fy ngogoniant oddi am danaf; ac a ddygodd ymaith goron fy mhen.

10 Y mae efe yn fy nistrywio oddi amgylch, ac yr ydwyf yn myned ymaith: ac efe a symmudodd fy ngobaith fel pren.

c Pen. 13. 24. Galar. 2. 5.

11 Gwnaeth hefyd i'w ddigofaint gynneu yn fy erbyn; ac c a'm cyfrifodd iddo fel *un* o'i elynion.

d Pen. 30. 12.

12 Ei dorfoedd sy'n dyfod ynghŷd, ac d yn palmantu eu ffyrdd yn fy erbyn, ac yn gwersyllu o amgylch fy mhabell.

e Psal. 31. 11. a 38. 11. a 69. 8. a 88. 8, 18.

13 e Efe a bellhaodd fy mrodyr oddi wrthyf, a'r rhai oedd ym fy adnabod hefyd a ymddïeithrasant oddi wrthyf.

14 Fy nghyfnesaf a ballasant, a'r rhai oedd o'm cydnabod a'm hanghofiasant.

15 Y rhai oedd yn trigo yn fy nhŷ, a'm morwynion, sy'n fy nghyfrif yn ddïeithr: alldud ydwyf yn eu golwg.

16 Gelwais ar fy ngwasanaethwr, ac nid attebodd; ymbiliais ag ef â'm genau.

† Heb. *bol.*

17 Dïeithr oedd fy anadl i'm gwraig, er ymbil o honof â *hi er mwyn* fy mhlant o'm † corph.

‡ Neu, *Yr enwir.*

18 ‡ Plant hefyd a'm dïystyrent: cyfodais, a dywedasant i'm herbyn.

f Psal. 41. 9. a 55. 13, 14. 20.

19 f Fy holl gyfrinachwŷr sy'n fy ffieiddio: a'r rhai a gerais a droisant yn fy erbyn.

g Pen. 30. 30. Psal. 102. 5. Galar. 4. 8. § Neu, *fel wrth, &c.*

20 g Fy esgyrn a lynodd wrth fy nghroen, § ac wrth fy nghnawd; ac â chroen fy nannedd y dïengais.

h Pen. 1. 11. Psal. 38. 2.

21 Trugarhêwch wrthyf, trugarhêwch wrthyf, fy nghyfeillion; canys h llaw DDUW a gyffyrddodd â mi.

22 Paham yr ydych chwi yn fy erlid i fel DUW, heb gael digon ar fy nghnawd?

|| Heb. *Pwy a ddyry 'sgrifenu fy, &c.*

23 || O nad ysgrifenid fy ngeiriau yn awr! O na argrephid hwynt mewn llyfr!

24 O nad ysgrifenid hwynt yn y graig dros byth â phin o haiarn ac â phlwm!

25 Canys myfi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw, ac y saif yn y diwedd ar y ddaear.

† Neu, *wedi im' ddeffro, er dinystrio y corph hwn, etto o'm cnawd y gwelaf Dduw.*

26 Ac † er ar ol fy nghroen i *bryfed* ddifetha'r *corph* hwn, etto i caf weled DUW yn fy nghnawd:

i Psal. 17. 15. 1 Cor. 13. 12. 1 Ioan 3. 2.

27 Yr hwn a gaf fi im' fy hun ei weled, a'm llygaid a'i gwelant, ac nid ‡ arall; er i'm harennau ddarfod § ynof.

28 Eithr chwi a ddylech ddywedyd, Paham yr erlidiwn ef? || canys gwreiddyn y matter a gaed ynof.

‡ Heb.

29 Ofnwch am danoch rhag y cleddyf: canys *y mae* digofaint *yn dwyn* cospedigaethau'r cleddyf, fel y gwybyddoch *fod* barn.

*dieithr.* § Heb. *yn fy mynwes.* || Neu, *pa wreiddyn matter a gaed, &c.*

## PEN. XX.

Mehef. 13. P.

*Sophar yn dangos cyflwr a rhan yr annuwiol.*

Cylch 1520.

YNA Sophar y Naamathiad a attebodd ac a ddywedodd,

† Heb. *ynof.*

2 Am hynny y mae fy meddyliau yn peri i mi atteb; ac am *hyn* y mae brys † arnaf.

3 Yr ydwyf yn clywed cerydd gwaradwyddus i mi; ac y mae yspryd fy neall yn peri i mi atteb.

4 Oni wyddost ti hyn erioed, er pan osodwyd dyn ar y ddaear,

a Psal. 37. 35. 36. ‡ Heb. *o agos.*

5 a Mai ‡ byr *yw* gorfoledd yr annuwiolion, a llawenydd y rhagrithwŷr dros funud awr?

b Esay 14. 13, 14. Obad. 3. 4. § Heb. *wybren.*

6 b Pe dyrchafai ei odidowgrwydd ef i'r nefoedd, a chyrhaeddyd o'i ben ef hyd y § cymmylau;

7 Efe a gollir yn dragywydd fel ei dom: y rhai a'i gwelsant a ddywedant, Pa le *y mae* efe?

c Psal. 73. 20. a 90. 5.

8 Efe a eheda ymaith c megis breuddwyd, ac ni cheir ef: ac efe a ymlidir fel gweledigaeth nos.

d Pen. 7. 8, 10. a 8. 18. Psal. 37. 36. a 103. 16.

9 d Y llygad *a'i* gwelodd, ni *wêl ef* mwy: a'i le ni chenfydd mwy o hono.

|| Neu, *Y tlodion a orthrymmu ei blant.*

10 || Ei feibion a gais foddloni'r tlodion: a'i ddwylaw e a roddant adref eu golud hwynt.

e Adn. 18. f Pen. 13. 26. Psal. 25. 7.

11 Ei esgyrn sy'n llawn *o* f *bechod* ei ieuengctid, yr hwn a orwedd gyd ag ef yn y pridd.

12 Er bod drygioni yn felus yn ei enau ef; *er* iddo ei gau dan ei dafod;

13 *Er* iddo ei arbed, ac heb ei ado; eithr ei attal o fewn taflod ei enau:

14 Ei fwyd a drŷ yn ei amysgaroedd: bustl aspiaid *ydyw* o'i fewn ef.

15 Efe a lyngcodd gyfoeth, ac efe a'i chwyda: DUW a'i tyn allan o'i fol ef.

16 Efe a sugn wenwyn aspiaid: tafod gwiber a'i lladd ef.

g Psal. 36. 9.

17 Ni chaiff weled g afonydd, ffrydiau, *ac* aberoedd o fêl ac ymenyn.

h Adn. 10. † Heb. *yn ol golud ei gyfnewid*

18 Y mae efe h yn rhoddi adref yr hyn a lafuriodd am dano, ac ni's llwngc: † yn ol *ei* olud y rhydd adref, ac heb gael llawenydd *o hono.*

19 Am iddo ddryllio, *a* gadaw y tlodion; ysglyfaethu tŷ nid adeiladodd;

20 i Dïau na † chaiff lonydd yn ei fol, na
weddill o'r hyn a ddymunodd.
21 Ni *bydd* gweddill ‡ o'i fwyd ef; am
hynny ni ddisgwyl neb am ei ddâ ef.
22 Pan gyflawner ei ddigonoldeb, cyf-
yng *fydd* arno: llaw pob *dyn* blin a ddaw
arno.
23 *Pan* fyddo efe ar fedr llenwi ei fol,
Duw a ddenfyn arno an-gerdd ei ddigof-
aint; ac a'*i* gwlawia *hi* arno ef ym mysg ei
fwyd.
24 k Efe a ffŷ oddi wrth arfau haiarn; *a*'r
bwa dur a'i trywana ef.
25 Efe a dynnir, ac a ddaw allan o'r
corph, a l gloyw-lafn a ddaw allan o'i fustl
ef; m dychryn *fydd* arno.
26 Pob tywyllwch *a fydd* cuddiedig yn
ei ddirgeloedd ef: tân heb ei chwythu a'i
hysa ef: yr hyn a adawer yn ei luestai ef, a
ddrygir.
27 Y nefoedd a ddatguddiant ei anwiredd
ef, a'r ddaear a gyfyd yn ei erbyn ef.
28 Cynnydd ei dŷ ef a gilia: *ei ddâ* a lifa
ymaith yn nydd ei ddigofaint ef.
29 n Dyma ran dyn annuwiol gan Dduw;
§ a'r etifeddiaeth a osodwyd iddo gan
Dduw.

i Preg. 5. 13, 14. † Heb. *ysbydd.* ‡ Neu, *i'w fwyd ef.* k Esay 24. 18. Jer. 48. 43. Amos 5. 19. l Pen. 16. 13. m Pen. 18. 11. n Pen. 27. 13. a 31. 2. § Heb. *ac etifeddiaeth ei ordinhâd ef gan Dduw.*

## PEN. XXI.

Mehef. 14. B.

1 *Job yn dangos fod iddo achos i ofidio, ïe ym marn dyn. 7 Bod yr annuwiol weithiau yn gymmaint eu llwyddiant, ag y pair iddynt ddïystyru Duw: 16 a bod eu dinystr hwy weithiau yn eglur. 23 Nad oes rago: rhung y llwyddiannus a'r truenus yn angau; 30 ac mai mewn byd arall y mae barnedigaeth yr annuwiol.*

Cylch 1520.

A Job a attebodd ac a ddywedodd,
2 Gan wrando gwrandêwch fy yma-
drodd; a bydded hyn *yn lle* eich cysur.
3 Dïoddefwch fi, a minnau a lefaraf; ac
wedi i mi ddywedyd, a gwatworwch.
4 A minnau, *ydwyf* fi *yn gwneuthur* fy
nghwyn wrth ddyn? ac os *ydwyf*, paham
† na byddai gyfyng ar fy yspryd?
5 Edrychwch arnaf, a synnwch; a b go-
sodwch *eich* llaw ar *eich* genau.
6 Minnau pan gofiwyf, a ofnaf; a dy-
chryn a ymaifl yn fy nghnawd.
7 c Paham y mae'r annuwiolion yn
byw, yn heneiddio, ac yn cryfhâu *mewn* cy-
foeth?
8 Eu had hwy *sydd* safadwy o'u blaen gyd
â hwynt, a'u hiliogaeth yn eu golwg.
9 Eu tai *sy mewn* heddwch allan o ofn; ac
nid *ydyw* gwïalen Duw arnynt hwy.
10 Y mae eu tarw hwynt yn cyfloi, ac ni
chyll ei had; ei fuwch ef a fwrw lo, ac nid
erthyla.
11 Danfonant allan eu rhai bychain fel
dïadell, a'u bechgyn a neidiant.
12 Cymmerant dympan a thelyn, a lla-
wenychant wrth lais yr organ.
13 d Treuliant eu dyddiau mewn daioni,
ac mewn moment y disgynant i'r bedd.
14 e Dywedant hefyd wrth Dduw, Cilia
oddi wrthym; canys nid ydym yn chwen-
nych gwybod dy ffyrdd.
15 f Pa beth *ydyw*'r Hollalluog, fel y gwa-
sanaethem ef? a pha fudd fydd i ni os
gweddïwn arno?
16 Wele, nid *ydyw* eu daioni hwy yn eu
llaw eu hun: g pell yw cyngor yr annuwiol
oddi wrthyf fi.
17 Pa sawl gwaith y diffydd ‡ canwyll

a Pen. 16. 10. a 17. 2. † Heb. *na fyrhâd fy yspryd?* b Pen. 29. 9. a 40. 4. Psal. 39. 9. c Pen. 12. 6. Psal. 17. 10. a 73. 3, 12. Jer. 12. 1. Hab. 1. 16. d Pen. 36. 11. e Pen. 22. 17. f Exod. 5. 2. Pen. 34. 9. a 35. 3. Mal. 3. 14. g Pen. 22. 18. ‡ Neu, *lamp.*

yr annuwiolion? ac y daw eu dinystr ar-
nynt hwy? DUW a ran ofidiau yn ei
ddig.
18 h Y maent hwy fel sofl o flaen gwŷnt,
ac fel mân-us yr hwn a § gipia'r cor-
wŷnt.
19 Duw a guddia ei anwiredd ef i i'w
feibion: efe a dâl iddo, ac efe a'*i* gwy-
bydd.
20 Ei lygaid a welant ei ddinystr ef; ac
k efe a ŷf o ddigofaint yr Hollalluog.
21 Canys pa wŷnfyd *sydd ganddo* ef yn ei
dŷ ar ei ol, pan hannerer rhifedi ei fis-
oedd ef?
22 l A ddysg *neb* wybodaeth i Dduw?
gan ei fod yn barnu y rhai uchel.
23 Y naill sydd yn marw yn ‖ ei gyflawn
nerth, *ac efe* yn esmwyth ac yn heddychol
yn gwbl.
24 Ei † fronnau ef sy'n llawn llaeth, a'i
esgyrn yn iraidd gan fêr.
25 A'r llall *sydd* yn marw mewn chwerw-
der enaid, ac ni fwyttaodd mewn hyfryd-
wch.
26 Hwy a orweddant ynghŷd yn y pridd,
a'r pryfed a'u gorchuddia hwynt.
27 Wele, mi a adwaen eich meddyliau,
a'r bwriadau'r ydych chwi yn eu dychym-
mygu ar gam yn fy erbyn.
28 Canys dywedwch, Pa le *y mae* tŷ y
pendefig? a pha le *y mae* lluesty anneddau'r
annuwiolion?
29 Oni ofynasoch chwi i'r rhai oedd yn
myned heibio ar hŷd y ffordd? ac onid ad-
waenoch chwi eu harwyddion hwy?
30 m Mai hyd ddydd dinystr yr arbedir
y drygionus; yn nydd ‡ cynddaredd y dygir
hwynt allan.
31 Pwy a fynega ei ffordd ef yn ei
wyneb ef? a phwy a dâl iddo fel y
gwnaeth?
32 Etto efe a ddygir i'r § bedd, ac a
‖ erys yn y pentwr.
33 Y mae priddellau'r dyffryn yn felus
iddo, a phob dyn a dynn ar ei ol ef, megis
*yr aeth* aneirif o'i flaen ef.
34 Pa fodd gan hynny y cysurwch fi ag
oferedd, gan fod camwedd yn eich attebion
chwi?

h Psal. 1. 4. a 35. 5. Esay 29. 5. Hos. 13. 3. § Heb. *ladratta.* i Exod. 20. 5. k Psal. 75. 8. Jer. 25. 15. Dat. 14. 10. a 19. 15. l Esay 40. 13. a 45. 9. Rhuf. 11. 34. 1 Cor. 2. 16. ‖ Neu, *nerth ei berffeithrwydd.* † Neu, *gelyrnau.* m Diar. 16. 4. ‡ Heb. *cynddarddau.* § Heb. *beddau.* ‖ Heb. *wylia.*

## PEN. XXII.

Mehef. 14. P.

1 *Eliphaz yn dangos nad yw daioni dyn yn gwneuthur dim lles i Dduw: 5 yn cyhuddo Job o amryw bechodau: 21 yn ei gynghori ef i edifarhâu, trwy addewidion o drugaredd.*

Cylch 1520.

YNA Eliphaz y Temaniad a attebodd ac
a ddywedodd,
2 a A wna gwr lesâd i Dduw, fel y
gwna'r synhwyrol lesâd iddo ei hun?
3 Ai digrifwch *ydyw* i'r Hollalluog dy
fod di yn gyfiawn? neu *ai* elw dy fod yn
perffeithio dy ffyrdd?
4 Ai rhag dy ofn y cerydda efe dydi? *neu*
yr â efe gyd â thi i farn?
5 Onid *ydyw* dy ddrygioni di yn aml?
a'th anwireddau heb derfyn?
6 Canys b cymmeraist wystl gan dy frawd
yn ddïachos; a dïosgaist ddillad y rhai
noethion.
7 Ni roddaist ddwfr i'w yfed i'r lludd-
edig; a thi a atteliaist fara oddi wrth y ne-
wynog.
8 Ond y gwr † cadarn, efe bïoedd y
ddaear; a'r ‡ anrhydeddus a drigai ynddi.

a Pen. 35. 7. Psal. 16. 2. Luc 17. 10. b Exod. 22. 26, 27. Deut. 24. 10, &c. † Heb. *braich.* ‡ Heb. *uchel, neu, gymmeradwy ei wyneb.*

9 Danfonaist ymaith wragedd gweddwon
yn waglaw; a breichiau 'r rhai amddifaid a
dorrwyd.
c Pen. 18. 10 Am hynny *y mae* c maglau o'th am-
8, 9, 10. a gylch, ac ofn disymmwth yn dy ddychrynu
19. 6. di;
11 Neu dywyllwch, *rhag* gweled o ho-
not: a llawer o ddyfroedd a'th orchudd-
iant.
12 Onid *ydyw* Duw yn uchelder y nef-
† Heb. oedd? gwêl hefyd † uchder y ser, mor uchel
*ben.* ydynt.
d Psal. 10. 13 A thi a ddywedi, d Pa ‡ fodd y gŵyr
11. a 59. 7. Duw? a farn efe trwy 'r cwmmwl tywyll?
a 73. 11. a 14 Y tew gymmylau *sydd* loches iddo, ac
94. 7. ni wêl; ac y mae efe yn rhodio ar gylch y
‡ Neu, *beth a ŵyr* nefoedd.
*Duw?* 15 A ystyriaist di yr hen ffordd a sathrodd
y gŵyr enwir?
e Pen. 15. 16 Y rhai e a dorrwyd pan nid *oedd* amser;
32. Psal. 55. 23. afon a dywalltwyd ar eu sylfaen hwy.
a 102. 24. 17 f Hwy a ddywedasant wrth Dduw,
Preg. 7. 17. Cilia oddi wrthym: a pha beth a wna'r
f Pen. 21. Holl-alluog iddynt hwy?
14. 18 Etto efe a lanwasai eu tai hwy o dda-
g Pen. 21. ioni: ond g pell yw cyngor yr annuwiolion
16. oddi wrthyf fi.
h Psal. 107. 19 h Y rhai cyfiawn a welant, ac a la-
42. wenychant: a'r diniweid a'u gwatwar
hwynt.
20 Gan na thorred ymaith ein sylwedd ni,
§ Neu, *go-* eithr y tân a ysodd eu § gweddill hwy.
*didowg-* 21 Ymarfer, *attolwg,* ag ef, a i bydd hedd-
*rwydd.* ychlon: o hyn y daw i ti ddaioni.
i Esay 27. 22 Cymmer y gyfraith, attolwg, o'i enau
5. ef, a gosod ei eiriau ef yn dy galon.
k Pen. 8. 23 k Os dychweli at yr Holl-alluog, ti a
5, 6. a 11. adeiledir, symmudi anwiredd ym mhell oddi
13. wrth dy luestai.
l 2 Chron. 24 l Rhoddi aur i gadw ‖ fel pridd, ac *aur*
1. 15. Ophir fel cerrig yr afonydd.
‖ Neu, *ar y pridd.* 25 A'r Holl-alluog fydd yn † ymddiffyn i
† Neu, *aur.* ti, a thi a gei ‡ amldra o arian.
‡ Heb. *arian* 26 Canys yna 'r ymhoffi yn yr Holl-alluog,
*cryfder.* ac m a ddyrchefi dy wyneb at Dduw.
m Pen. 11. 27 n Ti a weddii arno ef, ac efe a'th
15. wrendy; a thi a deli dy addunedau.
n Psal. 50. 28 *Pan* raglunieth di beth, efe a sicrhâir
14, 15. i ti; a'r goleuni a lewyrcha ar dy ffyrdd.
o Diar. 29. 29 Pan ostynger *hwynt,* yna y dywedi di,
23. Y *mae* goruchafiaeth; ac o efe a achub y
Iago 4. 6. 1 Petr 5. 5. gostyngedig *ei olwg.*
§ Neu, *Y diniwaid a* 30 § Efe a wareda ynys y diniweid: a
*wareda'r ynys.* thrwy lendid dy ddwylaw y gwaredir hi.

## PEN. XXIII.

Mehef. 15. B. 1 *Job yn hiraethu am fyned ger bron Duw,
6 o hyder ar ei drugaredd ef. 8 Y mae
Duw, er ei fod yn anweledig, yn dal ar ein
ffyrdd ni. 11 Gwirionedd Job. 13 Bod
barn Duw yn anghyfnewidiol.*

Cylch 1520. A Job a attebodd ac a ddywedodd,
2 Y *mae* fy ymadrodd heddyw yn
† Heb. chwerw: fy † nïaledd sydd drymmach nâ'm
*llaw.* uchenaid.
a Pen. 13. 3 a O na wyddwn pa le y cawn ef! *fel* y
3. a 16. 21. deuwn at ei eisteddfa ef!
4 Trefnwn *fy* matter ger ei fron ef, a
llanwn fy ngenau â rhesymmau.
5 Mynnwn wybod *a* *pha* eiriau y'm
hattebai; a deall pa beth a ddywedai efe
wrthyf.
b Esay 27. 6 b A ddadleu efe i'm herbyn â helaeth-
4, 8. rwydd *ei* gadernid? Na *wna;* ond efe a
osodai *nerth* ynof.
7 Yno'r uniawn a ymresymmai ag ef:
felly mi a ddiangwn byth gan fy marnwr.
8 c Wele, ym mlaen yr af, ond nid *ydyw* c Pen. 9.
efe *yno;* yn ol hefyd, ond ni fedraf ei gan- 11.
fod ef:
9 Ar y llaw aswy, lle y mae efe'n gweith-
io, ond ni fedraf ei weled *ef:* ar y llaw
ddehau y mae 'n ymguddio, fel na chaf ei
weled:
10 Ond efe a edwyn ‡ fy ffordd i: d wedi ‡ Heb.
iddo fy mhrofi, myfi a ddeuaf allan fel aur. *y ffordd*
11 Fy nhroed a ddilynodd ei gerddediad *sydd gen-*
ef: cedwais ei ffordd ef, ac ni wŷrais. *nyf.* d Psal. 17.
12 Nid ydwyf chwaith yn cilio oddi wrth 3. a 66. 10.
orchymyn ei wefusau ef: § hoffais eiriau § Heb.
ei enau ef yn fwy nâ'm ‖ *hymborth* angen- *cuddiais.*
rheidiol. ‖ Neu,
13 Ond *y mae* efe yn un, a e phwy a'i try *rhan osod-*
ef? f a'r *hyn* y mae ei enaid ef yn ei chwen- *edig.* e Pen. 9.
nychu, efe a'i gwna. 12, 13. a
14 Canys efe a gyflawna'r *hyn* a osod- 12. 14.
wyd i mi: ac *y mae* ganddo lawer o'r fath f Psal. 115.
bethau. 3.
15 Am hynny y dychrynais rhag ei ofn
ef: ystyriais, ac ofnais ef.
16 Canys Duw g a feddalhaodd fy ngha- g Psal. 22.
lon, a'r Holl-alluog a'm cythryblodd: 14.
17 O herwydd na thorrwyd fi ymaith o
flaen y tywyllwch, *ac na* chuddiodd efe'r
tywyllwch o'm gŵydd.

## PEN. XXIV.

1 *Bod anwiredd yn fynych yn diangc rhag* Mehef. 15.
*ei gospi; 17 a bod barn ddirgel i'r an-* P.
*nuwiol.* S. Simon, &c. B.

PAHAM, gan a na chuddiwyd yr amser- Cylch
oedd rhag yr Holl-alluog, na welai'r rhai 1520.
sydd yn ei adnabod ef, ei ddyddiau ef? a Act. 1. 7.
2 Y mae *rhai*'n symmudo b terfynau, b Deut. 19.
yn ysglyfaethu defaid, ac yn † ymborthi 14. a 27. 17.
*arnynt.* Diar. 22. 28. a 23. 10.
3 Y maent yn gyrru asynod yr amddifad † Neu,
ymaith: maent c yn cymmeryd ŷch y wraig *eu porthi*
weddw ar wystl. *hwynt.*
4 Maent yn troi'r anghenog allan o'r c Pen. 22. 6.
ffordd: d tlodion y ddaear a ymgyd-lechant. Deut. 24. 6, 10, 12, 17.
5 Wele, y maent *fel* asynod gwylltion yn d Diar. 28.
yr anialwch, yn myned allan i'w gwaith, gan 28.
geisio 'sglyfaeth yn fore: y diffaethwch *sydd*
*yn dwyn* iddynt fwyd, *ac i'w* plant.
6 Medant eu ‡ hŷd yn y maes; § a gwin- ‡ Heb.
llan yr annuwiol a gasglant. *cymmysg-*
7 Gwnant i'r tlawd lettya yn noeth heb *ŷd.*
ddillad, ac heb wisg mewn oerni. § Heb.
8 Gwlychant, gan lifeiriant y mynydd- *a'r annuwiol a*
oedd; ac o eisiau diddosrwydd, e y cofleid- *gasglant y winllan.*
iant graig. e Galar. 4.
9 Tynnant yr amddifad oddi wrth y fron: 5.
cymmerant wystl gan y tlawd.
10 Gwnant *iddo* fyned yn noeth heb ddi-
llad; a dygant ddyrneidiau *lloffa* y rhai ne-
wynog.
11 Y *rhai* sy'n gwneuthur olew o fewn
eu parwydydd hwynt, *ac* sy'n sathru *eu*
cafnau gwin, ydynt sychedig.
12 Y mae gwŷr yn griddfan o'r ddinas,
ac y mae eneidiau y rhai archolledig yn
gweiddi; ac nid yw Duw yn rhoi ffolineb
*yn eu herbyn.*
13 Y rhai hynny sy ym mhlith y rhai
sydd yn gwrthwynebu goleuni; nid ydynt
yn adnabod ei ffyrdd, nac yn aros yn ei
llwybrau.
14 f Gyd â'r goleuad y cyfyd y lleiddiad, f Psal. 10.
ac y lladd efe'r tlawd a'r anghenog; a'r nos 8.
y bydd *efe* fel lleidr.

[g] Diar. 7. 9. 15 [g] A llygad y godinebwr sydd yn gwyl-
[h] Psalm 10. ied am y cyfnos, [h] gan ddywedyd, Ni chaiff
11. llygad fy ngweled; ac efe a esyd hûg ar ei
wyneb.
16 Yn y tywyll y maent yn cloddio trwy
dai, *y rhai* a nodasant iddynt eu hunain liw
[i] Ioan 3. 12. dydd: [i] nid adwaenant hwy oleuni.
17 Canys megis cysgod marwolaeth *ydyw*
y bore iddynt hwy: dychryn cysgod marw-
olaeth *yw*, os edwyn neb *hwynt*.
18 Ysgafn *ydyw* ar wyneb y dyfroedd;
melldigedig ydyw eu rhandir hwy ar y
ddaear: ni thrŷ efe ei wyneb *at* ffordd y
gwinllannoedd.
19 Sychdwr a gwres sydd yn cipio dyfr-
oedd eira: *felly* 'r bedd *y rhai* a bechasant.
20 Y groth a'i gollwng ef dros gof, melus
fydd gan y pryf ef; ni chofir ef mwy: ac
anwiredd a dorrir fel pren.
21 Y mae efe'n dryllio'r ammhlantadwy,
*yr hon* ni phlanta; ac nid ydyw yn gwneu-
thur daioni i'r weddw.
22 Ac y mae efe'n tynnu y rhai cedyrn
† Neu, *nid ymddiried i'w einioes ei hun.* wrth ei nerth: y mae efe'n codi, ac † nid
oes *neb* dïogel o'i einioes.
23 Er rhoddi iddo fod mewn dïogelwch,
ar yr hyn y mae ei bwys; etto *y mae* ei
lygaid ef ar eu ffyrdd hwy.
24 Hwynt-hwy a ddyrchafwyd dros ychy-
‡ Heb. *nid ydynt.* dig, ond hwy ‡ a ddarfuant, ac a ostyng-
wyd; hwy a § ddycpwyd ymaith fel pawb
§ Heb. *gauwyd arnynt.* *eraill*, ac a dorrwyd ymaith fel pen tywysen.
25 Ac onid *ydyw felly* yn awr, pwy a'm
gwna i yn gelwyddog, ac a esyd fy ymad-
rodd yn ddiddym?

## PEN. XXV.

A hon hefyd. *Bildad yn dangos na all neb fod yn gyfiawn ger bron Duw.*

Cylch 1520.

YNA Bildad y Suhiad a attebodd ac a
ddywedodd,
2 Arglwyddïaeth ac ofn *sydd* gyd ag ef:
y mae efe'n gwneuthur heddwch yn ei
uchel-fannau.
3 A oes gyfrif o'i luoedd ef? ac ar bwy
ni chyfyd ei oleuni?
[a] Pen. 4. 17, &c. a 15. 14, &c. Psalm 130. 3. a 143. 2. 4 [a] Pa fodd y cyfiawnhêir dyn gyd â
Duw? neu pa fodd y bydd yr hwn a aned
o wraig yn lân?
5 Wele hyd yn oed y lleuad, ac ni le-
wyrcha hi; a'r sêr nid ydynt bur yn ei
olwg ef:
[b] Psalm 22. 6. 6 Pa faint llai dyn, *yr hwn sydd* [b] bryf;
a mab dyn, *yr hwn sydd* abwydyn?

## PEN. XXVI.

Mehef. 16. B. 1 *Job yn ceryddu anhrugarog yspryd Bildad; 5 ac yn cydnabod fod gallu Duw yn anfeidrol, ac yn anchwiliadwy.*

Cylch 1520.

A Job a attebodd ac a ddywedodd,
2 Pwy a gynnorthwyaist ti? ai'r
dinerth? a achubaist ti y braich *sydd* heb
gadernid?
3 Pa fodd y cynghoraist ti yr annoeth?
ac y mynegaist yn helaeth y peth fel y
mae?
4 Wrth bwy y mynegaist ymadroddion?
† Neu, *gyd a'r rhai, &c.* ac yspryd pwy a ddaeth allan o honot ti?
5 *Pethau* meirw a lunir oddi tan y dyfr-
oedd, † a'r rhai sydd yn trigo ynddynt
[a] Psalm 139. 8, 11. Diar. 15. 11. Heb. 4. 13. hwy.
6 [a] *Y mae* uffern yn noeth ger ei fron ef:
ac nid oes dô ar ddistryw.
[b] Pen. 9. 8. Psalm 104. 2, &c. 7 [b] Y mae efe yn taenu y gogledd ar y
gwagle: y mae efe yn crogi y ddaear ar
ddiddym.

8 Y mae efe'n rhwymo'r dyfroedd yn
ei gymmylau; ac nid ydyw'r cwmmwl yn
hollti danynt hwy.
9 Y mae efe'n attal wyneb *ei* orsedd-
fainge: y mae efe yn taenu ei gwmmwl
arni hi.
10 [c] Efe a amgylchodd wyneb y dyfroedd [c] Pen. 38. 8. Psalm 33.
â therfynau, ‡ nes dibennu goleuni a thy- 7. a 104. 9.
wyllwch. Diar. 8. 29. Jer. 5. 22.
11 Y mae colofnau'r nefoedd yn crynu, ‡ Heb.
ac yn synnu wrth ei gerydd ef. *hyd ddiweddiad*
12 [d] Efe a ranna'r môr â'i nerth; ac a *goleuni*
dery falchder â'i ddoethineb. *gyd â*
13 [e] Efe a addurnodd y nefoedd â'i Ys- *thywyllwch.*
pryd: ei law ef a luniodd y sarph dorchog.
14 Wele dyma rannau ei ffyrdd ef: ond [d] Esay 51. 15.
mor fychan *ydyw*'r peth yr ydym ni yn ei Jer. 31. 35
glywed am dano ef! ond pwy a ddeall da- [e] Psalm 33.
ranau ei gadernid ef? 6.

## PEN. XXVII.

1 *Job yn dangos ei burdeb,* 8 *ac nad oes gobaith i'r rhagrithiwr.* 11 *Y troir bendithion yr enwir yn felldithion.* A hon hefyd.

Cylch 1520.

A Job a † barablodd eilwaith, ac a ddy-
wedodd,
2 Y mae Duw yn fyw, [a] *yr hwn* a ddug † Heb.
ymaith fy marn; a'r Hollalluog, *yr hwn* a *chwanegodd gymmeryd ei*
‡ ofidiodd fy enaid; *ddammeg.*
3 Tra *fyddo* fy anadl ynof, ac yspryd [a] Pen. 34.
Duw yn fy ffroenau; 5.
4 Ni ddywed fy ngwefusau anwiredd, ‡ Heb.
ac ni thraetha fy nhafod dwyll. *chwerwodd.*
5 Na atto Duw i mi eich cyfiawnhâu
chwi: oni threngwyf, [b] ni symmudaf fy Ruth 1. 20.
mherffeithrwydd oddi wrthyf. 2 Bren. 4. 27.
6 Yn fy nghyfiawnder y glynais, ac ni's [b] Pen. 2. 9.
gollyngaf hi: ni waradwydda fy nghalon a 13. 15.
*fi* § tra fyddwyf byw. § Heb.
7 Bydded fy ngelyn fel yr annuwiol; a'r *er fy nyddiau.*
hwn sydd yn codi yn fy erbyn, fel yr
anwir.
8 [c] Canys pa obaith *sydd* i'r rhagrithiwr, [c] Mat. 16.
er elwa o hono ef, pan dynno Duw ei 26.
enaid ef allan? Luc 12. 20.
9 [d] A wrendy Duw ar ei lef, pan ddelo [d] Pen. 35.
cyfyngder arno? 12. Psalm 18.
10 A ymlawenycha efe yn yr Hollalluog? 41. a 109. 7.
a eilw efe ar Dduw bob amser? Diar. 1. 28.
11 Myfi a'ch dysgaf chwi trwy law a 28. 9. Esay 1. 15.
Dduw: ni chelaf yr hyn *sydd* gyd â'r Holl- Jer. 4. 12.
alluog. Ezec. 8. 18.
12 Wele, chwychwi oll a'i gwelsoch; a Michah 3. 4.
phaham yr ydych chwi felly yn ofera *mewn* Ioan 9. 31.
oferedd? Iago 4. 3.
13 [e] Dyma ran dyn annuwiol gyd â [e] Pen. 20.
Duw; ac etifeddiaeth y rhai traws, *yr hon* a 29.
gânt hwy gan yr Hollalluog.
14 [f] Os ei feibion ef a amlhêir, *hwy a* [f] Deut. 28.
*amlhêir* i'r cleddyf: a'i hiliogaeth ef ni 41. Hos. 9. 13,
ddigonir â bara. 14.
15 Ei weddillion ef a gleddir ym marw-
olaeth: [g] a'i wragedd gweddwon ni wyl- [g] Psalm 78.
ant. 64.
16 Er iddo bentyrru arian fel llwch, a
darparu dillad fel clai;
17 Efe a'i darpara, ond [h] y cyfiawn a'i [h] Diar. 28. 8.
gwisg: a'r diniweid a gyfranna'r arian. Preg. 2. 26.
18 Efe a adeiladodd ei dŷ fel gwyfyn,
ac [i] fel bwth a wna gwyliwr. [i] Esay 1. 8.
19 Y cyfoethog a huna, ac ni's cesglir ef: Galar. 2. 6.
efe a egyr ei lygaid, ac nid *yw*.
20 [k] Dychryniadau a'i goddiweddant ef [k] Pen. 18.
fel dyfroedd: corwynt a'i lladratta ef liw 11.
nos.

21 Y dwyreinwynt a'i cymmer ef i ffordd,
ac efe a a ymaith; ac a'i teifl ef fel cor-
wynt allan o'i le.
22 Canys DUW a deifl arno ef, ac nid
arbed: gan ffoi, efe a fynnai ffoi rhag ei
law ef.
23 Curant eu dwylaw arno, ac a'i hyssiant
allan o'i le.

## PEN. XXVIII.

Mehef. 16. P. 1 *Bod gwybodaeth am bethau naturiol.* 12 *Ond*
*mai godidog ddawn Duw yw doethineb.*

Cylch 1520. DIAU fod gwythen i'r arian; a lle i'r
aur, *lle* y coethant *ef.*
2 Haiarn a dynnir allan o'r pridd; ac o'r
garreg y toddir pres.
3 *Duw* sydd yn gosod terfyn ar dywyll-
wch, ac yn chwilio allan bob perffeith-
rwydd; *hyd yn oed* meini tywyllwch a
chysgod angau.
4 Y mae yr afon yn torri allan oddi wrth
y trigolion, *y dyfroedd* a anghofiwyd gan y
troed: hwy a sychasant ac a aethant ym-
aith oddi wrth ddynion.
5 Y ddaearen, o honi y daw bara: tröwyd
megis tân oddi tani.
6 Ei cherrig hi *a fyddant* le i saphir; a
† phriddellau aur sydd iddi.
7 *Y mae* llwybr nid adnabu aderyn, ac
ni chanfu llygad barcud:
8 Yr hwn ni sathrodd cenawon llew; nid
aeth hen lew trwyddo.
9 Y mae efe yn estyn ei law at y gallestr:
y mae efe yn dymchwelyd mynyddoedd o'r
gwraidd.
10 Y mae efe yn peri i afonydd dorri
trwy'r creigiau; ac y mae ei lygad ef yn
gweled pob peth gwerthfawr.
11 Y mae efe yn rhwymo'r afonydd
rhag ‡ llifo, ac yn dwyn *peth* dirgel allan i
oleuni.
12 [a] Ond pa le y ceir doethineb? a pha
le *y mae* trigle deall?
13 Ni wyr dyn beth a dâl hi; ac ni cheir
hi yn nhir y rhai byw.
14 [b] Y mae'r dyfnder yn dywedyd, Nid
*ydyw* hi ynof fi: ac y mae'r môr yn dy-
wedyd, Nid *ydyw hi* gyd â myfi.
15 [c] § Ni cheir hi er aur pur; ac ni ellir
pwyso ei gwerth hi o arian.
16 Ni chyffelybir hi i'r aur o Ophir; nac
i'r onix gwerthfawr, nac i'r saphir.
17 Nid aur a grisial a'i cystadla hi: na
llestr o aur ‖ dilin *fydd* gydwerth iddi.
18 Ni chofir y † cwrel, na'r ‡ gabis:
canys *gwell yw* caffaeliad doethineb nâ
gemmau.
19 Ni ellir cyffelybu y topaz o Ethiopia
iddi hi: ni chyd-brisir hi ag aur pur.
20 [d] Gan hynny o ba le y daw doethineb?
a pha le *y mae* mangre deall?
21 Canys hi a guddied oddi wrth lygaid
pob dyn byw; a hi a guddiwyd oddi wrth
ehediaid y nefoedd.
22 [e] Colledigaeth a marwolaeth sydd yn
dywedyd, Ni a glywsom â'n clustiau son
am dani hi.
23 Duw sydd yn deall ei ffordd hi; ac
efe a edwyn ei lle hi.
24 Canys y mae efe yn edrych ar eithaf-
oedd y ddaear, *ac* yn gweled dan yr holl
nefoedd;
25 [f] I wneuthur pwys i'r gwynt; ac efe
a bwysa'r dyfroedd wrth fesur.
26 Pan wnaeth efe ddeddf i'r gwlaw, a
ffordd i fellt y taranau:
27 Yna efe a'i gwelodd hi, ac a'i § my-
negodd hi; efe a'i parottôdd hi, a hefyd
efe a'i chwiliodd hi allan.
28 Ac wrth ddyn efe a ddywedodd, Wele,
[g] ofn yr Arglwydd, hynny *ydyw* doeth-
ineb; a chilio oddi wrth ddrwg, *sydd* dde-
all.

† Neu, *mwyn aur.*
‡ Heb. *wylo.*
[a] Adn. 20. Preg. 7. 24.
[b] Adn. 22. Rhuf. 11. 33, 34.
[c] Diar. 3. 13, 14. a 8. 11, 19. a 16. 16.
§ Heb. *Ni roir aur pur am dani.*
‖ Neu, *dilyfn.*
† Neu, *Ramoth.*
‡ Neu, *maen gwerthfawr.*
[d] Adn. 12.
[e] Adn. 14.
[f] Psalm 135. 7.
§ Neu, *rhifodd.*
[g] Deut. 4. 6. Psalm 111. 10. Diar. 1. 7. a 9. 10. Preg. 12. 13.

## PEN. XXIX.

*Job yn cwyno iddo ei hun, o herwydd ei* Mehef. 17. B.
*lwyddiant a'i anrhydedd o'r blaen.*

YNA Job a † barablodd drachefn, ac a Cylch 1520.
ddywedodd,
2 Oh na bawn i fel *yn* [a] y misoedd o'r
blaen; fel *yn* y dyddiau *pan* gadwai Duw
fi;
3 Pan wnai efe i'w ‡ oleuni lewyrchu ar
fy mhen, wrth oleuni yr hwn y rhodiwn
*trwy* dywyllwch;
4 Pan oeddwn yn nyddiau fy ieuengctid,
a dirgelwch Duw ar fy mhabell;
5 Pan *oedd* yr Hollalluog etto gyd â mi,
*a'm* plant o'm hamgylch;
6 Pan [b] olchwn fy nghamrau ag ymenyn,
a *phan* dywalltai'r [c] graig § i mi afonydd
o olew;
7 Pan awn i allan i'r porth trwy'r dref;
*pan* barottôwn fy eisteddfa yn yr heol:
8 Llangciau a'm gwelent, ac a ymgudd-
ient; a henuriaid a gyfodent, *ac* a safent i
fynu.
9 Tywysogion a attalient eu hymad-
roddion, ac a osodent *eu* llaw ar eu
genau.
10 ‖ Pendefigion a dawent â son, a'u
tafod a lynai wrth daflod eu genau.
11 Pan y'*m* clywai clust, hi a'm bendith-
iai; a phan y'*m* gwelai llygad, efe a dyst-
iolaethai gyd â mi:
12 Am fy mod [d] yn gwaredu'r tlawd a
fyddai yn gweiddi, a'r amddifad, a'r *hwn* ni
*byddai* gynnorthwywr iddo.
13 Bendith yr hwn oedd ar ddarfod am
dano, a ddeuai arnaf; a gwnawn i galon y
wraig weddw lawenychu.
14 [e] Gwisgwn gyfiawnder, a hithau a
wisgai am danaf fi: a'm barn *fyddai* fel
mantell a choron.
15 Llygaid oeddwn i'r dall; a thraed
*oeddwn* i'r cloff.
16 Tad *oeddwn* i'r anghenog; [f] a'r cwyn
ni wyddwn, a chwiliwn allan.
17 Drylliwn hefyd [g] gilddannedd yr ang-
hyfiawn, ac a † dynnwn yr ysglyfaeth allan
o'i ddannedd ef.
18 Yna y dywedwn, Byddaf farw yn fy
nyth; a byddaf mor aml *fy* nyddiau â'r
tywod.
19 [h] Fy ngwreiddyn *oedd* yn ‡ ymdanu
[i] wrth y dyfroedd; a'r gwlith a arhosodd
ar hyd nos ar fy mrig.
20 Fy ngogoniant *oedd* § ir ynof fi; [k] a'm
bwa a ‖ adnewyddai yn fy llaw.
21 Hwy a wrandawent arnaf, ac a ddis-
gwylient; distawent wrth fy nghyngor.
22 Ar ol fy ymadrodd ni ddywedent
hwy eilwaith; a'm hymadrodd a ddiferai
arnynt hwy.
23 A hwy a ddisgwylient am danaf fel am
y gwlaw; ac a ledent eu genau fel *am* [l] y
diweddar-wlaw.
24 *Os* chwarddwn arnynt hwy, ni chred-
ent; ac ni wnaent hwy i lewyrch fy wyneb
syrthio.
25 Dewiswn eu ffordd hwynt, eisteddwn
yn bennaf, a thrigwn fel brenhin mewn llu,
megis yr hwn a gysura rai galarus.

† Heb. *chwanegodd gymmeryd ei ddammeg.*
[a] Edrych Pen. 7. 3.
‡ Neu, *lamp,* Psalm 18. 28.
[b] Edrych Deut. 32. 13. a 33. 24. Pen. 20. 17.
[c] Psalm 81. 16.
§ Heb. *gyd â myfi.*
‖ Heb. *llais y pend. a guddiwyd.*
[d] Psalm 72. 12. Diar. 21. 13. a 24. 11.
[e] Deut. 24. 13. Psalm 132. 9. Esay 59. 17. a 61. 10. Eph. 6. 14, &c. 1 Thes. 5. 8.
[f] Diar. 29. 7.
[g] Diar. 30. 14.
† Heb. *ferium.*
[h] Pen. 18. 16.
‡ Heb. *agored.*
[i] Psalm 1. 3. Jer. 17. 8.
§ Heb. *newydd.*
[k] Gen. 49. 24.
‖ Heb. *newidiai.*
[l] Zech. 10. 1.

## PEN. XXX.

Mehef. 17. P. 1 *Troi anrhydedd Job yn ddygn ddiystyrwch;*
*15 a'i hawddfyd yn adfyd.*

Cylch 1520. OND yn awr *y rhai sy* † ieuangach nâ mi sy
yn fy ngwatwar, y rhai y diystyraswn
† Heb. *lai o ddyddiau nâ mi.* eu tadau i'w gosod gyd â chwn fy nefaid.
2 I ba beth *y gwasanaethai* cryfdwr eu
dwylaw hwynt i mi? darfuasai am ‡ henaint
‡ *oedran.* ynddynt hwy.
3 Gan angen a newyn, unig *oeddynt:*
§ Heb. *neithiwyr.* yn ffoi i'r anialwch § gynt, yn ddiffaeth ac
yn wyllt:
4 Y rhai a dorrent yr hoccys mewn
brysglwyni, a gwraidd meryw yn fwyd
iddynt.
5 Hwy a yrrid ymaith o fysg *dynion,*
(gwaeddent ar eu hol hwy, fel *ar ol* lleidr)
‖ *dyffrynoedd.* 6 I drigo mewn holltau ‖ afonydd, *mewn*
tyllau'r ddaear, ac *yn* y creigiau.
7 Hwy a ruent ym mhlith perthi: hwy a
ymgasglent dan ddanadl.
8 Meibion yr ynfyd, a meibion rhai an-
enwog *oeddynt:* gwaelach nâ'r ddaear
oeddynt.
a Pen. 17. 6. 9 a Ac yn awr eu cân hwy ydwyf fi, a
Psal. 35. 15. a 69. 12. myfi sydd yn destun iddynt.
Galar. 3. 14, 63. 10 Y maent yn fy ffieiddio, yn cilio ym
mhell oddi wrthyf; ac nid † arbedant b boeri
yn fy wyneb.
† Heb. *attaliant boeri i'm hwyneb.* 11 Oblegid iddo c ddattod fy rhaff, a'm
cystuddio; hwythau a ollyngasant y ffrwyn
yn fy ngolwg i.
b Num. 12. 14. 12 Y rhai ieuaingc sy'n codi ar *fy llaw*
Deut. 25. 9. ddehau; y maent yn gwthio fy nhraed, ac
Esay 50. 6. d yn sarnu i'm herbyn ffyrdd eu dinystr.
Mat. 26. 67. a 27. 30. 13 Anrheithiant fy llwybr, ychwanegant
fy nhrueni, heb *fod* help iddynt.
c Edrych Pen. 12. 18. 14 Y maent hwy yn dyfod *arnaf* megis
d Pen. 19. 12. *dwfr trwy* adwy lydan: y maent yn ym-
dreiglo *arnaf* wrth yr anrhaith.
15 Dychryniadau a dröwyd arnaf: fel
‡ Heb. *y bennig.* gwynt yr erlidiant fy ‡ enaid: a'm hiach-
awdwriaeth a â heibio fel cwmmwl.
e Psal. 42. 4. 16 Am hynny'r e ymdywallt fy enaid yn
awr arnaf; dyddiau cystudd a ymaflasant
ynof.
17 Y nos y tyllir fy esgyrn o'm mewn:
a'm giau nid ydynt yn gorphwys.
18 Trwy fawr nerth *fy nghlefyd,* fy ngwisg
a newidiodd: efe a'm hamgylcha fel coler
fy mhais.
19 Efe a'm taflodd yn y clai; ac aethum
yn gyffelyb i lwch a lludw.
20 Yr ydwyf yn llefain arnat ti, ac nid
ydwyt yn gwrando: yr ydwyf yn sefyll, ac
*nid* ystyri wrthyf.
21 Yr wyt yn troi yn greulon yn fy er-
byn; yr wyt yn fy ngwrthwynebu â nerth
dy law.
22 Yr wyt yn fy nyrchafu i'r gwynt; yr
ydwyt yn gwneuthur i mi farchogaeth *arno,*
§ Neu, *noethineb.* ac yr ydwyt yn toddi fy § sylwedd.
23 Canys myfi a wn y dygi di fi *i* farwol-
f Heb. 9. 27. aeth; ac *i'r* tŷ f rhagderfynedig i bob dyn
byw.
‖ Heb. *pentwr.* 24 Diau nad estyn *ef* law i'r ‖ bedd, er
*bod* gwaedd ganddynt yn ei ddinystr ef.
g Psal. 35. 13, 14. 25 g Oni wylais i dros yr hwn oedd galed
Rhuf. 12. 15. *ei* † fyd? *oni* ofidiodd fy enaid dros yr ang-
henog?
† Heb. *ddiwrnod?* 26 Pan edrychais am ddaioni, drygfyd a
ddaeth: pan ddisgwyliais am oleuni, ty-
wyllwch a ddaeth.
27 Fy amysgaroedd a ferwasant, ac ni or-
phwysasant: dyddiau cystudd a'm rhag-
flaenasant.
28 h Cerddais yn alarus heb yr haul: h Psal. 38. 6. a 42. 9.
codais, *a* gwaeddais yn y gynnulleidfa. a 43. 2.
29 i Yr ydwyf yn frawd i'r dreigiau, ac i Psal. 102. 6.
yn gyfaill i gywion yr estrys.
30 k Fy nghroen a dduodd am danaf, Michah 1. 8.
l a'm hesgyrn a losgasant gan wres. k Psal. 119. 83.
31 Aeth fy nhelyn hefyd yn alar, a'm Galar. 4. 8. a 5. 10.
horgan *fel* llais rhai yn wylo. l Psal. 102. 3.

## PEN. XXXI.

*Job ar gyhoedd yn dangos ei burdeb mewn* Mehef. 18. B.
*amryw bethau.*

MYFI a wneuthum ammod â'm a llyg- Cylch
aid; paham gan hynny y meddyliwn 1520.
am forwyn? a Mat. 5. 28.
2 Canys pa b ran *sydd oddi wrth* DDUW
oddi uchod? a *pha* etifeddiaeth *sydd oddi* b Pen. 20. 29. a 27.
*wrth* yr Hollalluog o'r uchelder? 13.
3 Onid *oes* dinystr i'r anwir? a *dialedd*
dieithr i'r rhai sy'n gwneuthur anwiredd?
4 c Onid ydyw efe yn gweled fy ffyrdd i? c 2 Chron. 16. 9.
ac yn cyfrif fy holl gamrau? Pen. 34. 21.
5 Os rhodiais mewn oferedd, ac os pry-
surodd fy nhroed i dwyllo; Diar. 5. 21. a 15. 3.
6 Pwysed fi mewn cloriannau cyfiawn, a Jer. 32. 19.
mynned DUW wybod fy mherffeithrwydd.
7 Os gŵyrodd fy ngherddediad allan o'r
ffordd; a d myned o'm calon ar ol fy llyg- d Edrych
aid; neu lynu dim aflan wrth fy nwylaw: Num. 15. 39.
8 *Yna* e hauwyf fi, a bwyttaed arall; ie, Ezec. 6. 9.
dadwreiddier fy hiliogaeth i. Mat. 5. 29.
9 Os twylled fy nghalon gan wraig, ac e Lef. 26. 16.
*os* cynllwynais wrth ddrws fy nghymmyd- Deut. 28.
og; 30, 38, &c.
10 Maled fy ngwraig innau i *wr* arall; ac
ymgrymmed eraill arni hi.
11 Canys ysgelerder *ydyw* hyn, ac f anwir- f Gen. 38. 24.
edd *ydyw i'w gospi gan* farnwyr. Lef. 20. 10.
12 Canys tân *ydyw* a ysa oni anrheithio, Deut. 22. 22.
ac *efe* a ddadwreiddia fy holl ffrwyth. Edrych
13 Os diystyrais achos fy ngwas a'm gwa- adn. 28.
sanaethferch, pan ymrysonent â mi;
14 Pa beth gan hynny a wnaf pan g godo g Psal. 44. 21.
DUW? a phan ymwelo efe, pa beth a attebaf
iddo?
15 h Onid yr hwn a'm gwnaeth i yn y h Pen. 34. 19.
groth, a'i gwnaeth yntau? ac † onid yr un Diar. 14. 31. a 22. 2.
a'n lluniodd yn y bru? Mal. 2. 10.
16 Os atteliais *ddim* o ddeisyfiad y
tlawd, ac *os* gwneuthum i lygaid y weddw † Neu, *onid efe a'n lluniodd ni mewn un groth?*
ddiffygio;
17 Ac os bwytteais fy ‡ mwyd yn unig,
ac oni fwyttaodd yr amddifad o hono;
18 (Canys efe a gynnyddodd gyd â mi, fel
*gyd â* thad, o'm hieuengctid; ac o groth fy ‡ Heb. *nhammaid.*
mam mi a'i tywysais § hi) § Sef, *y weddw.*
19 Os gwelais neb yn marw o eisiau
dillad, a'r anghenog heb wisg;
20 Os ei lwynau ef ni'm i bendithias- i Edrych
ant, ac *oni* chynhesodd efe gan gnu fy nef- Deut. 24. 13.
aid i;
21 Os codais fy llaw yn erbyn yr am-
ddifad, pan welwn fy nghymmorth yn y
porth:
22 Syrthied fy mraich oddi wrth fy
ysgwydd, a thorrer fy mraich oddi wrth y
cymmal.
23 Canys k ofn dinystr DUW *oedd* arnaf; k Esay 13. 6.
a chan ei uchelder ef ni allwn oddef. Joel 1. 15.
24 l Os gosodais fy ngobaith *mewn* aur; l Marc 10. 24.
ac os dywedais wrth aur coeth, Fy ymddir-
ied *wyt;* 1 Tim. 6. 17.
25 m Os llawenychais am *fod* fy nghy- m Psal. 62. 10.
foeth yn fawr, ac oblegid i'm llaw gael
llawer;

n Deut. 4. 19. a 11. 16. a 17. 3. 26 n Os edrychais ar yr haul pan dy-
wynnai, a'r lleuad yn cerdded yn ddis-
glair;
27 Ac os hudwyd fy nghalon yn
guddiedig, ac os fy ngenau a gusanodd fy
llaw:
o Adn. 11. 28 Hyn hefyd *fuasai* o anwiredd i'w gospi
gan y barnwŷr: canys gwadaswn Dduw
uchod.
p Diar. 17. 5. 29 p Os llawenychais i am drychineb yr
hwn a'm casâi, ac os ymgodais pan † ddi-
† Heb. gafodd drwg ef. gwyddodd drwg iddo:
30 q (Ac ni ddioddefais i daflod fy ngen-
q Mat. 5. 44. au bechu; gan ofyn ei einioes ef trwy fell-
Rhuf. 12. 14. dithio.)
31 Oni ddywedodd dynion fy mhabell, O
na chaem o'i gnawd ef! ni ddigonir ni.
r Rhuf. 12. 13. 32 r Ni lettyodd dieithr ddyn yn yr heol:
Heb. 13. 2. agorais fy nrysau i'r ‡ fforddolion.
1 Pedr 4. 9. 33 Os cuddiais fy nghamweddau s fel
‡ Neu, ffordd. § Adda; gan guddio fy anwiredd yn fy
mynwes;
s Gen. 3. 8. 12. 34 A ofnais i dyrfa liosog, neu a'm dy-
Hos. 6. 7. chrynai dirmyg teulu; fel y tawn heb fyned
§ Neu, dyn. allan o'm drws?
35 O am un a'm gwrandawai! wele, fy
‖ Neu, arwydd yw yr atteb yr Hollalluog fi. ‖ nymuniad yw, t i'r Hollalluog fy atteb i,
ac ysgrifennu o'm gwrthwynebwr lyfr.
36 Dïau y dygwn ef ar fy ysgwydd; *a*
rhwymwn ef yn *lle* coron i mi.
t Pen. 13. 22. 37 Mynegwn iddo rifedi fy nghamrau;
fel tywysog y nesawn atto.
38 Os ydyw fy nhir i yn llefain yn fy
erbyn, ac *os* ydyw ei gwysau ef yn cyd-
wylo;
† Heb. gryfder. 39 Os bwytteais i ei † gnwd ef heb arian,
ac *os* cystuddiais enaid ei berchennogion
u Gen. 3. 18. ef:
‡ Neu, chwyn niweidiol. 40 Tyfed u ysgall yn lle gwenith, a † bulwg
yn lle haidd.

Diweddwyd geiriau Job.

## PEN. XXXII.

Mehef. 18. P. 1 *Elihu yn ddig wrth Job a'i gyfeillion:* 6 *ac,*
*am nad yw doethineb yn dyfod o henaint,*
*yn esgusodi hyfder ei ieuengctid ei hun;* 11
*ac yn beio arnynt hwy, nad oeddynt yn*
*boddloni Job.* 16 *Ei zel ef i lefaru.*

Cylch 1520. FELLY y tri gwr yma a beidiasant ag at-
teb i Job, am ei *fod* ef yn gyfiawn yn
ei olwg ei hun.
2 Yna digofaint Elihu, mab Barachel y
Buziad, o genedl Ram, a gynneuodd: ei
ddigofaint ef a ennynodd yn erbyn Job,
am farnu o hono ei enaid yn gyfiawn o flaen
Duw.
3 A'i ddigofaint ef a gynneuodd yn
erbyn ei dri chyfaill, am na chawsent hwy
atteb, ac *er hynny,* farnu o honynt Job yn
euog.
† ddisgwyliasai Job mewn geiriau. 4 Elihu hefyd a † arhosasai ar Job nes
darfod iddo lefaru: canys *yr oeddynt* hwy
yn hŷn nag ef o ‡ oedran.
‡ Heb. ddyddiau. 5 Pan welodd Elihu nad *oedd* atteb gan y
tri wŷr hyn, yna y cynneuodd ei ddigofaint
ef.
6 Ac Elihu, mab Barachel y Buziad, a at-
§ Heb. Bychan ydwyf o ddyddiau. tebodd ac a ddywedodd, § Ieuangc ydwyf
o oedran, chwithau *ydych* hen iawn: am
hynny'r arswydais, ac yr ofnais ddangos fy
a Pen. 35. 11. a 38. 36. meddwl i chwi.
7 Dywedais, Dyddiau a draethant, a lliaws
Diar. 2. 6. o flynyddoedd a ddysgant ddoethineb.
Preg. 2. 26. 8 Ond *y mae* yspryd mewn dyn; ac a ys-
Dan. 1. 17. a 2. 21. prydoliaeth yr Hollalluog sydd yn gwneu-
Iago 1. 5. thur iddynt hwy ddeall.

9 Nid yw *gwŷr* mawrion ddoeth *bob am-*
*ser:* ac nid yw henafgwŷr yn deall barn.
10 Am hynny y dywedais, Gwrando fi;
minnau a ddangosaf fy meddwl.
11 Wele, disgwyliais wrth eich geiriau;
clust-ymwrandewais â'ch ‖ rhesymmau, tra ‖ Heb. deall.
y chwiliasoch chwi am eiriau.
12 Ië, mi a ddeliais arnoch: ac wele, nid
*oedd un* o honoch yn argyoeddi Job, gan
atteb ei eiriau ef:
13 Rhag dywedyd o honoch, Ni a gaw-
som ddoethineb: Duw sydd yn ei wthio ef
i lawr, ac nid dyn.
14 Er na † hwyliodd efe *ei* ymadroddion † Heb. threfnodd.
yn fy erbyn i: ac nid attebaf finnau iddo
â'ch geiriau chwi.
15 Hwy a synnasant, nid attebasant mwy;
‡ peidiasant â llefaru. ‡ Heb. symmudasant oddi wrthynt ymadroddion.
16 Wedi disgwyl o honof (canys ni le-
farent, eithr sefyll heb atteb mwy)
17 *Dywedais,* Minnau a attebaf fy rhan,
minnau a ddangosaf fy meddwl.
18 Canys yr ydwyf yn llawn geiriau: y
mae § 'r yspryd sydd ynof yn fy nghym- § Heb. yspryd fy mol.
mell i.
19 Wele, fy mol *sydd* fel gwin nid agorid
arno: y mae efe yn hollti fel costrelau ne-
wyddion.
20 Dywedaf, fel y caffwyf fy anadl: agoraf
fy ngwefusau, ac attebaf.
21 Ni dderbyniaf yn awr wyneb neb:
ni wenhieithiaf wrth ddyn.
22 Canys ni fedraf wenhieithio; *pe*
*gwnawn,* buan y'm cymmerai fy Ngwneu-
thurwr ymaith.

## PEN. XXXIII.

1 *Elihu yn ymgynnyg i ymresymmu â Job dros* Mehef. 19. B.
*Dduw, mewn purdeb a llarieidd-dra;* 8 *yn*
*dangos nad yw Duw rwymedig i roi cyfrif*
*o'i ffyrdd i ddyn.* 14 *Duw yn galw dyn i*
*edifeirwch, trwy weledigaethau,* 19 *trwy*
*gystuddiau,* 23 *a thrwy ei weinidogion.* 31
*Y mae efe yn annog Job i wrando.*

O Herwydd paham, Job, clyw attolwg Cylch 1520.
fy ymadroddion; a gwrando fy holl
eiriau.
2 Wele'r ydwyf yn awr yn agoryd fy
ngenau; mae fy nhafod yn dywedyd yn
nhaflod fy ngenau.
3 O uniondeb fy nghalon *y bydd* fy ngeir-
iau; a'm gwefusau a adroddant wybodaeth
bur.
4 a Yspryd Duw a'm gwnaeth i; ac a Gen. 2. 7.
anadl yr Hollalluog a'm bywiocaodd i.
5 Os gelli, atteb fi: ymbarottoa, *a* saf
o'm blaen i.
6 b Wele fi, yn ol dy † ddymuniad di, b Pen. 9. 34, 35. a 13. 20, 21.
yn lle Duw: allan o'r clai y torrwyd
finnau. † Heb. enau.
7 Wele, ni'th ddychryna fy arswyd i, ac
ni bydd fy llaw yn drom arnat. ‡ Heb. yn fy nghlust ini.
8 Dywedaist yn ddïau ‡ lle y clywais i,
a myfi a glywais lais *dy* ymadroddion:
9 c Pur *ydwyf* fi heb gamwedd: glân c Pen. 9. 17. a 10. 7. a 11. 4. a 16. 17. a 23. 10, 11. a 27. 5. a 29. 14. a 31. 1.
*ydwyf,* ac heb anwiredd ynof.
10 Wele, efe a gafodd achosion yn fy
erbyn: d y mae efe yn fy nghyfrif yn elyn
iddo.
11 e Y mae yn gosod fy nhraed yn y
cyffion: y mae yn gwylied fy holl lwybrau. d Pen. 13. 24. a 16. 9. a 19. 11.
12 Wele, *yn* hyn nid ydwyt gyfiawn. Mi
a'th attebaf, mai mwy ydyw Duw nâ dyn. e Pen. 13. 27. a 14. 16.
13 Paham yr ymrysoni yn ei erbyn ef? o
herwydd nid ydyw efe'n § rhoi cyfrif am § Heb. atteb.
ddim o'i weithredoedd.

14 Canys y mae Duw yn llefaru unwaith,
ïe, ddwywaith; *ond* ni ddeall *dyn*.
15 Trwy hûn, *a thrwy* weledigaeth nos,
pan syrthio trymgwsg ar ddynion, wrth
heppian ar wely;
† Heb. *y datguddia.* 16 Yna † [f] yr egyr efe glustiau dynion,
ac y selia efe addysg iddynt:
[f] Pen. 36. 10, 15. 17 I dynnu dyn *oddi wrth ei* waith, ac i
guddio balchder oddi wrth ddyn.
18 Y mae efe yn cadw ei enaid ef rhag y
‡ Heb. *myned ymaith.* pwll; a'i hoedl ef rhag ei ‡ cholli trwy'r
cleddyf.
19 Ac efe a geryddir trwy ofid ar ei wely;
a lliaws ei esgyrn ef â *gofid* caled:
[g] Psalm 107. 18. 20 [g] Fel y ffieiddio ei fywyd ef fara, a'i
§ Heb. *dymunol.* enaid fwyd § blasus.
21 Derfydd ei gnawd ef allan o olwg: saif
ei esgyrn allan, *y rhai* ni welid *o'r blaen*.
22 Nesâu y mae ei enaid i'r bedd, a'i
fywyd i'r dinystrwŷr.
|| Neu, *ddeonglwr.* 23 Os bydd gyd ag ef gennad o || ladmer-
ydd, un o fil, i ddangos i ddyn ei uniondeb:
24 Yna efe a drugarhâ wrtho, ac a ddy-
wed, Gollwng ef, rhag disgyn o hono i'r
† Neu, *gymmod.* clawdd: myfi a gefais † iawn.
‡ Heb. *mabolaeth.* 25 Ireiddiach *fydd* ei gnawd nâ ‡ bach-
gen: efe a ddychwel at ddyddiau ei ieuengc-
tid.
26 Efe a weddïa ar DDUW, ac yntau a
fydd boddlon iddo; ac efe a edrych yn ei
wyneb ef mewn gorfoledd: canys efe a dâl
i ddyn ei gyfiawnder.
§ Neu, *ac a ddywed.* 27 Efe a edrych ar ddynion, § ac *os* dy-
wed *neb*, Mi a bechais, ac a ŵyrais uniondeb,
ac ni lwyddodd i mi;
|| Neu, *waredodd fy enaid.* 28 Efe a || wared ei enaid ef rhag myned
i'r clawdd, † a'i fywyd a wêl oleuni.
† Neu, *a'm bywyd.* 29 Wele, hyn oll a wna Duw ‡ ddwy-
waith *neu* dair â dyn,
‡ *yn fynych.* 30 [h] I ddwyn ei enaid ef o'r pwll, i'w
oleuo â goleuni y rhai byw.
[h] Psal. 56. 13. 31 Gwrando, Job, clyw fi: taw, a mi a
lefaraf.
32 Od oes geiriau gennyt, atteb fi: llefara;
canys chwennychwn dy gyfiawnhâu di.
33 Onid ê, gwrando arnaf fi: bydd ddistaw,
a myfi a ddysgaf i ti ddoethineb.

## PEN. XXXIV.

Mehef. 19. P. 1 *Elihu yn beio ar Job, am furw ar Dduw fod yn anghyfiawn. 10 Na's gall Duw Hollalluog fod yn anghyfiawn. 31 Rhaid i ddyn ymddarostwng i Dduw. 34 Elihu yn ceryddu Job.*

Cylch 1520. AC Elihu a lefarodd ac a ddywedodd,
2 Ha wŷr doethion, gwrandêwch fy
[a] Pen. 6. 30. a 12. 11. ymadroddion; a chwychwi y rhai ydych yn
gwybod, clust-ymwrandêwch.
† Heb. *taflod y genau.* 3 [a] Canys y glust a farn ymadroddion, fel
yr archwaetha † 'r genau fwyd.
[b] Pen. 27. 2. 4 Dewiswn i ni farn, gwybyddwn rhyng-
om pa beth sy dda.
[c] Pen. 9. 17. 5 Canys dywedodd Job, Cyfiawn ydwyf:
a [b] Duw a ddug ymaith fy marn.
‡ Heb. *saeth,* Pen. 6. 4. a 16. 13. 6 A ddywedaf fi gelwydd yn erbyn fy
matter fy hun? [c] anaele *yw* fy ‡ archoll
heb gamwedd.
[d] Pen. 15. 16. 7 Pa wr *sydd* fel Job, [d] *yr hwn* a ŷf wat-
[e] Pen. 35. 3. worgerdd fel dwfr?
8 Ac a rodio ynghymdeithas gyd â
[f] Deut. 32. 4. gweithredwŷr anwiredd, ac sydd yn my-
2 Chron. 19. 7. ned gyd â dynion annuwiol.
Pen. 8. 3. a 36. 23. 9 Canys [e] dywedodd, Ni fuddia i wr ym-
hyfrydu â Duw.
Psalm 92. 15. 10 Am hynny chwychwi wŷr calonnog,
Rhuf. 9. 14. gwrandêwch arnaf. [f] Pell oddi wrth DDUW
fyddo *wneuthur* annuwioldeb, ac oddi wrth
yr Hollalluog *weithredu* anwiredd.
11 [g] Canys efe a dâl i ddyn ei waith; ac [g] Psalm 62. 12.
efe a wna i wr gael yn ol ei ffyrdd ei Diar. 24. 12.
hun.
12 Dïau hefyd na wna Duw yn annuw- Jer. 32. 19.
iol; ac na ŵyra'r Hollalluog farn. Ezec. 33. 20.
13 Pwy a roddes iddo ef lywodraethu'r Mat. 16. 27.
ddaear? a phwy a osododd § yr holl fyd? Rhuf. 2. 6.
14 [h] Os gesyd ei galon || ar *ddyn*, *os* casgl 2 Cor. 5. 10.
efe atto ei hun ei yspryd a'i anadl ef; 1 Petr 1. 17.
15 [i] Pob cnawd a gyd-drenga, a dyn a Dat. 22. 12.
ddychwel i'r pridd. § Heb. *y cwbl o hono?*
16 Ac od *oes* ddeall *ynot*, gwrando hyn:
clust-ymwrando â llef fy ymadroddion. [h] Psalm 104. 29.
17 [k] A gaiff yr hwn sydd yn casâu barn,
† lywodraethu? ac a ferni di yr hwn sydd Preg. 12. 7.
gyfiawn odiaeth, yn annuwiol? || Heb. *arno ef.*
18 A ddywedir wrth frenhin, Drygionus [i] Gen. 3. 19.
*ydwyt? ac*, Annuwiol *ydych*, wrth dywys-
ogion? Preg. 12. 7.
19 *Pa faint llai wrth* yr hwn [l] ni dder- [k] Gen. 18. 25.
byn wynebau tywysogion, ac nid edwyn y
goludog o flaen y tlawd? canys [m] gwaith ei † Heb. *rwymo?*
ddwylaw ef *ydynt* oll.
20 Hwy a fyddant meirw mewn moment, [l] Deut. 10. 17.
a hanner nos y cynhyrfa'r bobl, ac yr ant 2 Chron. 19. 7.
ymaith: a'r cadarn a ‡ symmudir heb *waith*
llaw. Act. 10. 34. Rhuf. 2. 11.
21 [n] Canys ei lygaid ef *sydd* ar ffyrdd Gal. 2. 6.
dyn, ac efe a wêl ei holl gamrau ef. Eph. 6. 9. Col. 3. 25.
22 [o] Nid *oes* dywyllwch, na chysgod [m] Pen. 31.
angau, lle y gall y rhai sydd yn gweithio 15.
anwiredd, ymguddio. ‡ Heb.
23 Canys ni esyd *DUW* ar ddyn ychwa- *symmudant.*
neg *nag a haeddo*; fel y gallo efe fyned i [n] 2 Chron.
gyfraith â Duw. 16. 9.
24 Efe a ddryllia rai cedyrn yn § aneirif, Pen. 31. 4.
ac a esyd eraill yn eu lle hwynt. Psalm 34. 15.
25 Am hynny efe a edwyn eu gweithred- Diar. 5. 21.
oedd hwy: a phan newidio efe y nos, hwy a 15. 3.
a || ddryllir. Jer. 16. 17.
26 Efe a'u tery hwynt, megis rhai an- a 32. 19.
nuwiol, † yn amlwg: [o] Psalm 139. 12.
27 Am iddynt gilio oddi ar ei ol ef, ac Amos 9. 2, 3.
[p] nad ystyrient ddim o'i ffyrdd ef:
28 Gan ddwyn gwaedd y tlawd atto ef, Heb. 4. 13.
ac efe a wrendy waedd y cystuddiol. § Heb. *anchwiliadwy.*
29 Pan esmwythao efe, pwy a anes-
mwythâ? a phan guddio efe *ei* wyneb, || Heb.
pwy a edrych arno? pa un bynnag ai yn *ysigir.*
erbyn cenedl, ai yn erbyn dyn yn unig: † Heb. *ym mangre*
30 Fel na theyrnasai dyn ffuantus, *ac* na *y rhai sy*
rwyder y bobl. *yn edrych.*
31 Ond wrth DDUW, yr hwn a ddywed, [p] Psalm 28. 5.
Mi a faddeuais, nid anrheithiaf, *y dylid* Esay 5. 12.
*dywedyd;*
32 Heb law a welaf, dysg di fi: o gwneu-
thum anwiredd, ni wnaf fi mwy.
33 Ai ‡ wrth dy feddwl di *y byddai?* efe ‡ Heb.
a'i tâl, pa un bynnag a wnelych ai gwrthod, *oddi gyd â thi.*
ai dewis; ac nid myfi: am hynny dywed
yr hyn a wyddost.
34 Gwŷr § call, dywedant i mi; a'r gwr § Heb.
doeth, clywed fi. *o galon.*
35 Job a ddywedodd yn annoeth; a'i
eiriau *ydynt* heb ddoethineb.
36 Fy Nhad, profer Job hyd y diwedd,
am *roddi* attebion dros ddynion anwir.
37 Canys efe a 'chwanegodd ysgelerder
at ei bechod; efe a gurodd *ei ddwylaw* yn
ein plith ni, ac a amlhaodd ei eiriau yn er-
byn Duw.

## PEN. XXXV.

1 *Nad oes mor ymgystadlu â Duw; am nad* Mehef. 20.
*oes na'n daioni ni na'n drygioni yn dda* B.

*nac yn ddrwg iddo ef.* 9 *Bod llawer yn
gwaeddi ar Dduw yn eu cystudd, ac heb
gael eu gwrando, o eisiau ffydd.*

Cylch 1520.

AC Elihu a lefarodd ac a ddywedodd,
2 A gyfrifaist di yn union ddywedyd
o honot, Y *mae* fy nghyfiawnder i yn fwy
nâ'r eiddo Duw?
3 Canys [a] dywedaist, Pa les a wna *hynny*
i ti? pa beth a ynnillaf? † *er fy nglanhâu*
oddi wrth fy mhechod?
4 Myfi a ‡ attebaf i ti, ac i'th gyfeillion
gyd â thi.
5 [b] Edrych ar y nefoedd, a gwel; ac edrych
ar y cymmylau, *y rhai* sydd uwch nâ thi.
6 Os pechi, pa *niweid* a wnei di iddo
ef? os aml fydd dy anwireddau, pa beth
yr wyt yn ei wneuthur iddo ef?
7 [c] Os cyfiawn fyddi, pa beth yr wyt yn
ei roddi iddo ef? neu pa beth y mae efe
yn ei gael ar dy law di?
8 I wr fel tydi, dy annuwioldeb, ac i fab
dyn, dy gyfiawnder, *a all ryw beth.*
9 Gan faint y gorthrymder, hwy a wnant
i'r *gorthrymmedig* lefain: hwy a floeddiant
rhag braich y cedyrn.
10 Ond ni ddywed neb, Pa le y mae Duw,
yr hwn a'm gwnaeth i; [d] yr hwn sydd yn
rhoddi *achosion* i ganu y nos?
11 Yr hwn sydd yn ein dysgu yn fwy nag
anifeiliaid y ddaear, ac yn ein gwneuthur
yn ddoethach nag ehediaid y nefoedd.
12 [e] Yna hwy a waeddant rhag balchder
y rhai drwg, ac ni chlyw efe.
13 [f] Diau na wrendy Duw oferedd, ac
nad edrych yr Hollalluog arno.
14 Er dywedyd o honot na weli ef, *etto
y mae* barn ger ei fron ef: disgwyl dithau
wrtho.
15 Ac yn awr, am nad *yw felly*, § efe a
ymwelodd yn ei ddigofaint; etto ni wyr
‖ efe mewn dirfawr galedi:
16 Am hynny y lleda Job ei safn yn ofer;
ac yr amlhâ eiriau heb wybodaeth.

[a] Pen. 21. 16. a 34. 9.
† Neu, *oddi wrtho mwy nag oddi wrth fy mhechod?*
‡ Heb. *ddychwelaf eiriau i ti.*
[b] Pen. 22. 12.
[c] Pen. 22. 2, 3. Psal. 16. 2. Diar. 9. 12. Rhuf. 11. 35.
[d] Psalm 42. 8. a 100. 5. a 149. 5.
[e] Diar. 1. 28.
[f] Pen. 27. 9. Diar. 15. 29. Jer. 11. 11.
§ Sef, *Duw.*
‖ Sef, *Job.*

## PEN. XXXVI.

Mehef. 20. P.

1 *Elihu yn dangos bod Duw yn gyfiawn yn ei
ffyrdd.* 16 *Y modd y mae pechodau Job yn
attal bendithion Duw.* 24 *Rhaid yw mawr-
hâu gweithredoedd Duw.*

Cylch 1520.

AC Elihu a aeth rhagddo, ac a ddy-
wedodd,
2 Goddef i mi ychydig, a myfi a fyneg-
af i ti, *fod gennyf* ymadroddion etto dros
Dduw.
3 O bell y cymmeraf fy ngwybodaeth,
ac i'm gwneuthurwr y rhoddaf gyfiawnder.
4 Canys yn wir nid celwydd *fydd* fy
ymadroddion: y perffaith o wybodaeth *sydd*
gyd â thi.
5 Wele, cadarn *ydyw* Duw, ac ni ddïys-
tyra efe *neb*: [a] cadarn o gadernid a † doeth-
ineb *yw efe.*
6 Nid achub efe fywyd yr annuwiol; ond
efe a rydd uniondeb i'r ‡ trueiniaid.
7 [b] Ni thyn efe ei olwg oddi ar y cyf-
iawn; eithr [c] *y maent* gyd â brenhinoedd,
ar yr orseddfaingc; ïe, efe a'u sicrhâ yn
dragywydd, a hwy a ddyrchefir.
8 Ac [d] os *hwy* a rwymir â gefynnau, *ac* a
ddelir â rhaffau gorthrymder;
9 Yna efe a ddengys iddynt hwy eu
gwaith, a'u hanwireddau, amlhâu o honynt:
10 [e] Ac a egyr eu clustiau hwy i *dderbyn*
cerydd; ac a ddywed am droi o honynt
oddi wrth anwiredd.
11 Os gwrandawant hwy, a'i wasanaethu

[a] Pen. 9. 4. a 12. 13, 16. a 37. 23. Psalm 99. 4.
† Heb. *chalon.*
‡ Neu, *cystuddiol.*
[b] Psalm 33. 18. a 34. 15.
[c] Psalm 113. 8.
[d] Psalm 107. 10.
[e] Pen. 33. 16, 23.

*ef*, hwy [f] a dreuliant eu dyddiau mewn
daioni, a'u blynyddoedd mewn hyfrydwch.
12 Ac oni wrandawant, § difethir hwy
gan y cleddyf; a hwy a drengant heb wy-
bodaeth.
13 Ond y rhai rhagrithiol o galon [g] a
'chwanegant ddig: ni waeddant pan rwymo
efe hwynt.
14 [h] Eu henaid hwythau fydd marw mewn
ieuengctid, a'u bywyd gyd â'r ‖ aflan.
15 Efe a wared y † truan yn ei gystudd,
ac a egyr eu clustiau hwynt mewn gor-
thrymder.
16 Felly hefyd efe a'th symmudasai di
o enau cyfyngdra *i* ehangder, lle nid oes
gwasgfa; ‡ a [i] saig dy fwrdd di *fuasai* yn
llawn brasder.
17 Ond ti a gyflawnaist farn yr annuwiol:
barn a chyfiawnder a ymaflant *ynot.*
18 O herwydd *bod* digofaint, *gochel* rhag
iddo dy gymmeryd ymaith â'i ddyrnod:
yna [k] ni'th ‖ wared iawn mawr.
19 A brisia efe ar dy olud di? *na phrisia,*
ar aur, nac ar holl gadernid nerth.
20 Na chwennych y nos, pan dorrer pobl
ymaith yn eu lle.
21 Ymochel, nac edrych ar anwiredd:
canys hynny a ddewisaist o flaen cystudd.
22 Wele, Duw trwy ei nerth a ddyrcha-
fa: [l] pwy sydd yn dysgu fel efe?
23 [m] Pwy a orchymynodd ei ffordd ef
iddo? a [n] phwy a ddywed, Gwnaethost an-
wiredd?
24 Cofia fawrhâu ei waith ef, ar yr hwn
yr edrych dynion.
25 Pob dyn a'i gwel; *a* dyn a'i cenfydd o
bell.
26 Wele, mawr *yw* Duw, ac nid ad-
waenom *ef*; ac [o] ni fedrir chwilio allan
nifer ei flynyddoedd ef.
27 Canys efe a wna'r defnynnau dyfroedd
yn fân: hwy a dywalltant wlaw fel y byddo
ei darth;
28 Yr hwn a ddifera, *ac* a ddefnynna'r
cymmylau, ar ddyn yn helaeth.
29 Hefyd, a ddeall *dyn* daeniadau'r cym-
mylau, *a* thwrf ei babell ef?
30 Wele, efe a daenodd ei oleuni arno, ac
a orchuddiodd † waelod y môr.
31 Canys [p] â hwynt y barn efe'r bobl-
oedd, *ac* y rhydd efe fwyd yn helaeth.
32 Efe a guddia'r goleuni â chymmylau;
ac a rydd orchymyn iddo *na thywynno*
trwy'r *cwmmwl* sydd rhyngthynt.
33 Ei dwrf a fynega am dano, a'r anifeil-
iaid am ‡ y tarth.

[f] Pen. 21. 13.
§ Heb. *ant ymaith.*
[g] Rhuf. 2. 5.
[h] Pen. 15. 32. a 22. 16. Psalm 55. 23.
‖ Neu, *sodomiaid.*
† Neu, *cystuddiol.*
‡ Heb. *yr hyn a orphwys ar dy fwrdd.*
[i] Psalm 23. 5.
§ Neu, *a'th gynhaliant.*
[k] Psalm 49. 7.
‖ Heb. *dry heibio.*
[l] Esay 40. 13, 14. Rhuf. 11. 34. 1 Cor. 2. 16.
[m] Pen. 34. 13.
[n] Pen. 34. 10.
[o] Psalm 90. 2. a 102. 24, 27. Heb. 1. 12.
† Heb. *wreiddiau.*
[p] Pen. 37. 13. a 38. 23.
‡ Heb. *yr esgyniad.*

## PEN. XXXVII.

Mehef. 21. B.

1 *Rhaid yw ofni Duw o herwydd ei weith-
redoedd.* 15 *Bod ei ddoethineb ef yn an-
chwiliadwy ynddynt hwy.*

Cylch 1520.

WRTH hyn hefyd y cryn fy nghalon,
ac y dychlamma hi o'i lle.
2 Gan wrando gwrandêwch ar swn ei lef,
ac ar y sain a ddaw allan o'i enau ef.
3 Efe a'i hyfforddia dan yr holl nefoedd,
a'i † fellt hyd ‡ eithafoedd y ddaear.
4 [a] Swn a rua ar ei ol ef: efe a wna
daranau â llais ei odidowgrwydd, ac ni
oeda efe hwynt, pan glywir ei dwrf ef.
5 Efe a wna daranau â'i lais yn rhyfedd:
[b] y mae'n gwneuthur pethau mwy nag a
wyddom ni.
6 Canys [c] efe a ddywed wrth yr eira,
Bydd *ar* y ddaear; ac wrth gawod o wlaw,
ac wrth § wlaw mawr ei nerth ef.

† Heb. *oleuni.*
‡ Heb. *esgyll.*
[a] Pen. 29. 3. a 68. 33.
[b] Pen. 5. 9. a 9. 10. a 36. 26.
[c] Psalm 147. 15, 16.
§ Heb. *gawodydd o wlaw mawr.*

7 Efe a selia law pob dyn, fel yr adwaeno
pawb ei waith ef.
8 Yna yr â 'r bwystfil i'w loches, ac y trig
yn ei le.
9 O'r † deheu y daw corwynt; ac oerni
oddi wrth y ‡ gogledd.
10 d A'i wynt y rhydd Duw rew: a lled
y dyfroedd a gyfyngir.
11 Hefyd efe a flina gwmmwl yn dyfr-
hâu; efe a wasgar § ei gwmmwl goleu.
12 Ac y mae hwnnw yn ymdrôi oddi
amgylch wrth ei lywodraeth ef: fel y
gwnelont hwy beth bynnag a orchymyno
efe iddynt, ar hŷd wyneb y byd ar y ddaear.
13 Pa un bynnag ai yn ‖ gospedigaeth,
ai e i'w ddaear, ai f er daioni, g efe a bar
iddo ddyfod.
14 Gwrando hyn, Job; saf, ac ystyria
ryfeddodau Duw.
15 A wyddost ti pa bryd y dosparthodd
Duw hwynt, ac y gwnaeth efe i oleuni ei
gwmmwl lewyrchu?
16 A wyddost ti oddi wrth bwysau 'r
cymmylau, rhyfeddodau 'r hwn sydd ber-
ffeith-gwbl o wybodaeth?
17 Pa fodd *y mae* dy ddillad yn gynnes,
pan baro efe 'r ddaear yn dawel â'r deheu-
*wynt?*
18 h A daenaist ti gyd ag ef yr wybren,
*yr hon* a sicrhawyd fel drych toddedig?
19 Gwna i ni wybod pa beth a ddywedwn
wrtho: ni fedrwn ni gyflêu *ein geiriau* gan
dywyllwch.
20 A fynegir iddo ef os llefaraf? os dywed
neb, diau y llyngcir ef.
21 Ac yn awr, ni wel *neb* y goleuni dis-
glair *sy* yn y cymmylau: ond myned y
mae 'r gwynt, a'u puro hwynt.
22 O'r gogleddwynt y daw † hindda:
*y mae* yn Nuw ogoniant mwy ofnadwy.
23 *Am* yr Hollalluog, i ni allwn ni mo'i
gael ef: k ardderchog *yw* o nerth, a barn, a
helaethrwydd cyfiawnder: ni chystuddia
efe.
24 Am hynny yr ofna dynion ef: nid
edrych efe ar neb doeth eu calon.

† Heb. *ystafell.*
‡ Heb. *gwyntoedd gwasgarog.*
d Pen. 38. 29, 30. Psal. 147. 17, 18.
§ Heb. *gwmmwl ei oleuni.*
‖ Heb. *wialen.*
e Pen. 38. 26, 27.
f 2 Sam. 21. 10. 1 Bren. 18. 45.
g Exod. 9. 18, 23. 1 Sam. 12. 18, 19. Ezra 10. 9. Pen. 36. 31.
h Gen. 1. 6.
† Heb. *aur.*
i 1 Tim. 6. 16.
k Pen. 36. 5.

## PEN. XXXVIII.

1 *Duw yn annog Job i atteb.* 4 *Duw, trwy ei alluog weithredoedd, yn dangos i Job ei anwybodaeth,* 31 *a'i wendid.*

Mehef. 21. P.

Cylch 1520.

YNA 'r ARGLWYDD a attebodd Job
a allan o'r corwynt, ac a ddywedodd,
2 b Pwy *yw* hwn sydd yn tywyllu cyngor
ag ymadroddion heb wybodaeth?
3 c Gwregysa dy lwynau yn awr fel gwr;
a † mynega i mi *yr hyn* a ofynwyf i ti.
4 d Pa le 'r oeddit ti pan sylfaenais i y
ddaear? mynega, os medri ddeall.
5 Pwy a osododd ei mesurau hi, os
gwyddost? neu pwy a estynodd linyn arni
hi?
6 Ar ba beth y ‡ sicrhawyd ei § sylfeini
hi? neu pwy a osododd ei chonglfaen hi?
7 Pan gyd-ganodd sêr y bore, ac y gor-
foleddodd holl feibion Duw.
8 e A *phwy* a gauodd y môr â dorau, pan
ruthrodd efe allan *megis pe* deuai allan o'r
groth?
9 Pan osodais i y cwmmwl yn wisg iddo,
a niwl tew yn rhwymyn iddo,
10 f Pan osodais fy ngorchymyn arno, a
*phan* osodais drosolion a dorau,
11 Gan ddywedyd, Hyd yma y deui,
ac nid ym mhellach; ac yma 'r attelir ym-
chwydd dy donnau di.

a Felly Exod. 19. 16, 18. 1 Bren. 19. 11. Ezec. 1. 4. Nah. 1. 3.
b Pen. 42. 3.
c Pen. 40. 7.
† Heb. *gwna i mi wybod.*
d Psal. 104. 5. Diar. 8. 29. a 30. 4.
‡ Heb. *suddwyd.*
§ Heb. *morteisiau.* neu, *ystodion.*
e Gen. 1. 9. Psal. 33. 7. a 104. 9. Diar. 8. 29.
f Pen. 26. 10.

12 A orchymynaist ti y bore er dy
ddyddiau? a ddangosaist ti i'r wawr-ddydd
ei lle,
13 I ymaflyd yn ‖ eithafoedd y ddaear, fel
yr ysgydwer yr annuwiol allan o honi hi?
14 *Canys* hi a ymnewidia fel clai 'r sel;
a hwy a safant fel dillad.
15 Ac attelir eu goleuni oddi wrth yr
annuwiol: g dryllir y braich dyrchafedig.
16 A ddaethost ti i eigion y môr? ac a
rodiaist ti ynghilfachau 'r dyfnder?
17 A agorwyd h pyrth marwolaeth i ti?
neu a welaist ti byrth cysgod angau?
18 A ystyriaist ti led y ddaear? mynega,
os adwaenost ti hi i gyd.
19 Pa ffordd *yr eir lle* y trig goleuni? a
pha le *y mae* lle y tywyllwch?
20 Fel y cymmerit ef † hyd ei derfyn, ac
y medrit y llwybrau *i'w* dŷ ef.
21 A wyddit ti yna y genid tydi? ac *y
byddai* rhifedi dy ddyddiau yn fawr?
22 A aethost ti i i drysorau 'r eira? neu a
welaist ti drysorau 'r cenllysg,
23 k Y rhai a gedwais i hyd amser cy-
fyngder, hyd ddydd ymladd a rhyfel?
24 Pa ffordd yr ymranna goleuni *yr hwn*
a wasgar y dwyreinwynt ar y ddaear?
25 Pwy a rannodd ddyfrffos i'r llif-ddyfr-
oedd? a ffordd i fellt y taranau,
26 I wlawio ar y ddaear *lle* ni *byddo* dyn;
*ar* yr anialwch, *sydd* heb ddyn ynddo?
27 l I ddigoni 'r *tir* diffaeth a gwyllt, ac i
beri i gnwd o laswellt dyfu?
28 A oes dad i'r gwlaw? neu pwy a gen-
hedlodd ddefnynnau 'r gwlith?
29 O groth pwy y daeth yr iâ allan? a
phwy a genhedlodd lwydrew 'r nefoedd?
30 Y dyfroedd a guddir megis â charreg,
ac wyneb y dyfnder a ‡ rewodd.
31 A rwymi di hyfrydwch § m Pleiades?
neu a ddattodi di rwymau ‖ Orion?
32 A ddygi di allan † Mazzaroth yn eu
hamser? neu a dywysi ‡ di Arcturus a'i
feibion?
33 A adwaenost ti n ordeiniadau y nef-
oedd? a osodi di ei lywodraeth ef ar y
ddaear?
34 A ddyrchefi di dy lef ar y cwmmwl,
fel y gorchuddio helaethrwydd o ddyfroedd
dydi?
35 A ddanfoni di fellt allan, fel yr elont
ac y dywedont wrthyt, Wele ni?
36 o Pwy a osododd ddoethineb yn yr
amysgaroedd? neu pwy a roddodd ddeall
i'r galon?
37 Pwy a gyfrif y cymmylau trwy ddoeth-
ineb? a phwy a all § attal costrelau 'r nef-
oedd,
38 Pan ‖ droër y llwch yn dom, fel y
glyno 'r priddellau ynghŷd?
39 p A elli di hela ysglyfaeth i'r llew? neu
a elli di lenwi † gwangc cenawon y llewod,
40 Pan ymgrymmant yn *eu* llochesau, pan
eisteddant mewn ffau i gynllwyn?
41 q Pwy a ddarpar i'r gigfran ei bwyd?
pan lefo ei chywion ar DDUW, gwibiant o
eisiau bwyd.

‖ Heb. *esgyll.*
g Psal. 10. 15.
h Psal. 9. 13.
† Neu, *yn,* neu, *wrth.*
i Psa. 135. 7.
k Exod. 9. 18. Jos. 10. 11. Esay 30. 30.
l Psal. 107. 35.
‡ Heb. *ddaliwyd.*
§ Neu, *y saith seren?* Heb. *Cimah?*
m Pen. 9. 9. Amos 5. 8.
‖ Heb. *Cesil?*
† Neu, *y deuddeg arwydd.*
‡ Heb. *di hwynt, Arct. a'i feibion?*
n Jer. 31. 35.
o Pen. 32. 8. Preg. 2. 26.
§ Heb. *beri i gostrelau'r nefoedd orwedd.*
‖ Heb. *dywallter.*
p Psal. 104. 21.
† Heb. *bywyd.*
q Psal. 147. 9. Mat. 6. 26.

## PEN. XXXIX.

1 *Am y geifr gwylltion, a'r ewigod;* 5 *yr asyn gwyllt,* 9 *yr unicorn,* 13 *y paun, a'r estrys;* 19 *y march,* 26 *y gwalch,* 27 *a'r eryr.*

Mehef. 22. B.

Cylch 1520.

A Wyddost ti 'r amser i eifr gwylltion y
creigiau lydnu? a fedri di wylied yr
*amser* a y bwrw 'r ewigod loi?
2 A gyfrifi di y misoedd a gyflawnant
hwy? ac a wyddost ti 'r amser y llydnant?

a Psal. 29. 9.

3 Ymgrymmant, bwriant eu llydnod, *ac* ymadawant â'u gofid.

* Neu, *gan yd.*

4 Eu llydnod a gryfhâ, cynnyddant † yn y maes: ant allan, ac ni ddychwelant attynt hwy.

5 Pwy a ollyngodd yr asyn gwŷllt yn rhŷdd? neu pwy a ddattododd rwymau 'r asyn gwŷllt?

b Pen. 24. 5. Jer. 2. 24. Hos. 8. 9.

6 b Yr hwn y gosodais yr anialwch yn dŷ iddo, a'r ‡ diffaethwch yn drigfa iddo.

‡ Heb. *mân diroedd.*

7 Efe a chwardd am *ben* lliaws tref: c ni wrendy ar lais y § geilwad.

c Pen. 3. 18.

8 Cilfachau 'r mynyddoedd *yw* ei borfa ef, ac efe a chwilia am bob glaswelltyn.

§ Heb. *cymhellwr.*

9 A gyttuna 'r unicorn i'th wasanaethu di? a erys efe wrth dy bresebau di?

10 A rwymi di unicorn â'i did mewn rhych? a lyfna efe y dolydd ar dy ol di?

11 A ymddiriedi wrtho, am fod ei gryfdwr yn fawr? a adewi di dy lafur iddo?

12 A goeli di ef, y dwg efe dy had di drachefn, ac y casgl efe ef i'th lawr-dyrnu di?

13 *A roddaist ti* adenydd hyfryd i'r peunod? neu || adenydd a phlu i'r estrys?

|| Neu, *adenydd y ciconia a'r estrys?*

14 Yr hon a ád ei hwyau yn y ddaear, ac a'u cynhesa yn y llwch;

15 Ac y mae hi yn gollwng dros gof y gallai droed eu dryllio hwynt, neu anifail y maes eu sathru.

16 Caled yw hi wrth ei chywion, fel pe na *byddent* eiddi hi: ei gwaith hi *sydd* ofer, heb ofn;

17 Oblegid na roddes Duw iddi ddoethineb, ac na chyfrannodd iddi ddeall.

18 Yr amser yr ymgodo hi yn uchel, hi a ddïystyra 'r march a'i farchog.

† *wisgaist ti ei wddf ef â tharan?*

19 A roddaist ti gryfdwr i farch? neu a † ddysgaist iddo weryru?

20 A ddychryni di ef fel ceiliog rhedyn? dychryn *ydyw* ardderchowgrwydd ei ffroen ef.

21 *Ei draed ef* a gloddiant yn y dyffryn, ac efe a lawenycha yn *ei* gryfdwr: efe a â allan i gyfarfod arfau.

22 Efe a ddïystyra arswyd, ac ni ddychryna efe; ac ni ddychwel yn ei ol rhag y cleddyf.

23 Y cawell saethau a drystia yn ei erbyn, y ddisglair waywffon a'r darian.

24 Efe a lwngc y ddaear gan greulondeb a chynddaredd: ac ni chred mai llais yr udgorn *yw.*

25 Efe a ddywed ym mhlith yr udgyrn, Ha, ha; ac a arogla o bell ryfel, twrf tywysogion, a'r bloeddio.

26 Ai trwy dy ddoethineb di 'r eheda 'r gwalch, *ac* y lleda efe ei adenydd tu a'r dehau?

‡ Heb. *enau.*

27 Ai wrth dy ‡ orchymyn di 'r ymgyfyd yr eryr, ac d y gwna efe ei nyth yn uchel?

d Jer. 49. 16. Obad. 4.

28 Y trig efe ac yr erys *mewn* craig; *ac* ar ysgythredd y graig, a'r lle cadarn?

29 Oddi yno y chwilia am fwyd; ei lygaid a ganfyddant o bell.

e Mat. 24. 28. Luc 17. 37.

30 Ei gywion hefyd a sugnant waed: a e lle *y byddo* celanedd, yno *y bydd* efe.

## PEN. XL.

Mehef. 22. P.

1 *Job yn ymostwng ger bron Duw.* 6 *Duw yn ei gyffrôi ef i ddangos ei gyfiawnder, a'i allu, a'i ddoethineb.* 15 *Am y behemoth.*

Cylch 1520.

YR ARGLWYDD hefyd a attebodd Job, ac a ddywedodd,

2 Ai dysgeidiaeth yw ymryson â'r Hollalluog? a argyoeddo DDUW, attebed i hynny.

3 ¶ A Job a attebodd yr ARGLWYDD, ac a ddywedodd,

4 Wele, gwael ydwyf; pa beth a attebaf i ti? a mi a osodaf fy llaw ar fy ngenau. a Psal. 39. 9.

5 Dywedais unwaith; ond nid attebaf: ïe, ddwywaith; ond ni 'chwanegaf.

6 ¶ b A'r ARGLWYDD a attebodd Job allan o'r corwynt, ac a ddywedodd, b Pen. 38. 1.

7 c Gwregysa yn awr dy lwynau fel gwr; a d myfi a ofynaf i ti, mynega dithau i mi. c Pen. 38. 3.

8 e A wnei di fy marn i yn ofer? a ferni di fi yn anghyfiawn, i'th gyfiawnhâu dy hun? d Job 42. 4. e Psal. 51. 4. Rhuf. 3. 4.

9 A oes i ti fraich fel i DDUW? neu a wnei di daranau â'th lais fel yntau?

10 f Ymdrwsia yn awr â mawredd ac â godidowgrwydd, ac ymwisg â gogoniant ac â phrydferthwch. f Psal. 104. 1.

11 Gwasgara gynddaredd dy ddigofaint; ac edrych ar bob balch, a thafl ef i lawr.

12 Edrych ar bob balch, a gostwng ef; a mathra 'r annuwiol yn eu lle.

13 Cuddia hwynt ynghŷd yn y pridd, *a* rhwym eu hwynebau hwy mewn *lle* cuddiedig.

14 Yna hefyd myfi a addefaf i ti, y gall dy ddeheulaw dy achub.

15 ¶ Yn awr wele † y behemoth, yr hwn a wneuthum gyd â thi; glaswellt a fwytty efe fel ŷch. † Neu, *yr elephant.*

16 Wele yn awr, ei gryfder ef *sydd* yn ei lwynau, a'i nerth ym mogel ei fol.

17 Efe a gyfyd ei gynffon fel cedrwŷdden: gewynnau ei arennau ef sy blethedig.

18 Pibellau pres *ydyw* ei esgyrn ef: ei esgyrn *sydd* fel ffyn heiyrn.

19 Pennaf o ffyrdd DUW *ydyw* efe: yr hwn a'i gwnaeth, a all beri i'w gleddyf nesâu *atto ef.*

20 Y mynyddoedd yn ddïau a ddygant laswellt iddo: ac yno y chwery holl anifeiliaid y maes.

21 Efe a orwedd dan goedydd cysgodfawr, mewn lloches o gyrs a siglennydd.

22 Coed cysgodfawr a'i gorchuddiant â'u cysgod: helyg yr afon a'i hamgylchant.

23 Wele, efe a ‡ ŷf yr afon, *ac* ni phrysura: efe a obeithiai y tynnai efe 'r Iorddonen i'w safn. ‡ Heb. *dreisia.*

24 A ddeil neb ef o flaen ei lygaid? a dylla *neb* ei drwyn *ef* â bachau?

## PEN. XLI.

*Mawr allu Duw yn y lefiathan.* Mehef. 23. B.

A Dynni di 'r † lefiathan allan â bâch? ‡ neu a rwymi di ei dafod ef â rhaff? Cylch 1520.

† Sef, *morfil.*

2 A osodi di fâch yn ei drwyn ef? neu a dylli di asgwrn ei ên ef â mynawyd? ‡ Neu, *ei dafod ef â rhaff a ollyngych i waered?*

3 A fawr ymbil efe â thi? a ddywed efe wrthyt ti yn dêg?

4 A wna efe ammod â thi? a gymmeri di ef yn was tragywyddol? Heb. *a soddych?*

5 A chwareui di ag ef fel *ag* aderyn? neu a rwymi di ef i'th langcesau?

6 A swppera cyfeillion arno? a gyfrannant hwy ef rhwng marsiandwŷr?

7 A lenwi di ei groen ef â phigau heiyrn? neu ei ben â thryferau?

8 Gosod dy law arno ef; cofia 'r rhyfel; na wna mwy.

9 Wele, ofer ydyw ei obaith ef: oni chwymp *un* gan ei olwg ef?

10 Nid *oes neb mor* hyderus a'i godi ef: a phwy a saif ger fy mron i?

[a] Rhuf. 11. 35. 11 [a] Pwy a roddodd i mi yn gyntaf,
[b] Exod. 19. 5. a mi a dalaf? [b] *beth bynnag sydd* dan yr
holl nefoedd, eiddof fi yw.
Deut. 10. 14. 12 Ni chelaf ei aelodau ef, na'i gryfder,
Psalm 24. 1. a 50. 12. na gweddeidd-dra ei ystum ef.
1 Cor. 10. 26, 28. 13 Pwy a ddatguddia wyneb ei wisg
ef? pwy a ddaw *atto ef* â'i ffrwyn ddau-
ddyblyg?
14 Pwy a egyr ddorau ei wyneb ef? ofn-
adwy *yw* amgylchoedd ei ddannedd ef.
† Heb. *gryfion dariannau.* 15 *Ei* falchder yw *ei* † emmau, wedi eu cau
ynghŷd *megis* â sel gaeth.
16 *Y mae* 'r naill mor agos at y llall, fel na
ddaw gwŷnt rhyngddynt.
17 Pob un a lŷn wrth ei gilydd; hwy a
gyd-ymgyssylltant, fel na wahenir hwy.
18 Wrth ei disian ef y tywynna goleuni,
a'i lygaid ef *sydd* fel amrantau 'r bore.
19 Ffaglau a ant allan, *a* gwreichion
tanllyd a neidiant o'i enau ef.
20 Mŵg a ddaw allan o'i ffroenau, fel *o*
bair neu grochan berwedig.
21 Ei anadl a wna i'r glo losgi, a fflam a
ddaw allan o'i enau.
22 Yn ei wddf y trig cryfder, a thristwch
‡ Heb. *lawenycha.* a ‡ drŷ yn llawenydd o'i flaen ef.
23 Llowethau ei gnawd a lynant ynghŷd:
caledodd ynddo ei hun, fel na syflo.
24 Caled ydyw ei galon fel carreg; a
chaled fel darn o'r maen isaf i *felin.*
25 Rhai cryfion a ofnant pan godo efe:
rhag ei ddrylliadau ef yr ymlanhânt.
26 Cleddyf yr hwn a'i tarawo, ni ddeil;
§ Neu, *dduyfronneg.* y waywffon, y biccell, na'r § llurig.
27 Efe a gyfrif haiarn fel gwellt, *a* phres
fel pren pwdr.
28 Ni phar saeth iddo ffoi: cerrig tafl a
drôed iddo yn sofl.
29 Piccellau a gyfrifir fel soflyn; ac efe a
chwardd wrth ysgwyd gwaywffon.
30 Dano ef *y bydd* megis darnau llymion
o lestri pridd: efe a daena bethau llymion
ar hŷd y clai.
31 Efe a wna i'r dyfnder ferwi fel crochan:
efe a esyd y môr fel crochan o ennaint.
32 Efe a wna lwybr goleu ar ei ol; *fel* y
tybygid *fod* y dyfnder yn frigwŷn.
33 Nid *oes* ar y ddaear gyffelyb iddo, yr
|| Neu, *ymddûg* hwn a || wnaethpwyd heb ofn.
34 Efe a edrych ar bob *peth* uchel: bren-
hin *ydyw* ar holl feibion balchder.

## PEN. XLII.

Mehef. 23. P. S. Simon, &c. P. 1 *Job yn ymrôi i Dduw.* 7 *A Duw yn barnu achos Job yn oreu, ac yn peri i'w gyfeillion ymrôi iddo, ac yn ei dderbyn ef yn gymmeradwy,* 10 *ac yn ei fawrhâu, ac yn ei fendithio.* 16 *Oedran a marwolaeth Job.*

Cylch 1520. A Job a attebodd yr ARGLWYDD, ac a
ddywedodd,
† Neu, *rwystrir un o'th feddyliau.* 2 Myfi a wn y gelli di bob *peth;* ac na
† attelir *un* meddwl oddi wrthyt.
3 [a] Pwy *yw* 'r hwn sydd yn cuddio
[a] Pen. 38. 2. cyngor heb wybodaeth? am hynny y lle-
ferais yr hyn ni's deallais; [b] *pethau* rhŷ ry- [b] Psal. 40. 5. a 131. 1.
fedd i mi, y rhai ni's gwyddwn. a 139. 6.
4 Gwrando, attolwg, a myfi a lefaraf:
[c] gofynaf i ti, dysg dithau finnau. [c] Pen. 38.
5 Myfi a glywais â'm clustiau son am 3. a 40. 7.
danat: ond yn awr fy llygad a'th welodd
di.
6 Am hynny y mae'n ffiaidd gennyf fi
*fy hun;* ac yr ydwyf yn edifarhau mewn
llwch a lludw.
7 ¶ Ac wedi dywedyd o'r ARGLWYDD
y geiriau hyn wrth Job, yr ARGLWYDD
a ddywedodd wrth Eliphaz y Temaniad,
Fy nigofaint a gynneuodd yn dy erbyn di,
ac yn erbyn dy ddau gyfaill; am na ddy-
wedasoch am danaf fi yn uniawn fel fy
ngwasanaethwr Job.
8 Yn awr gan hynny cymmerwch i
chwi saith o fustych, a saith o hyrddod,
ac [d] ewch at fy ngwasanaethwr Job, ac [d] Mat. 5.
offrymmwch boeth-aberth drosoch; a gwe- 24.
ddïed fy ngwasanaethwr Job drosoch:
canys mi a dderbyniaf ei wyneb ef: fel na
wnelwyf i chwi *yn ol eich* ffolineb, am na
ddywedasoch yr uniawn am danaf fi, fel fy
ngwasanaethwr Job.
9 Felly Eliphaz y Temaniad, a Bildad y
Suhiad, *a* Sophar y Naamathiad, a aethant
ac a wnaethant fel y dywedasai 'r AR-
GLWYDD wrthynt. A'r ARGLWYDD a
dderbyniodd wyneb Job.
10 Yna'r [e] ARGLWYDD a ddychwelodd [e] Psal. 14.
gaethiwed Job, pan weddïodd efe dros ei 7. a 120. 1.
gyfeillion: a'r ARGLWYDD a 'chwaneg-
odd yr hyn oll *a fuasai* gan Job, yn [f] ddau [f] Esay 40.
ddyblyg. 2.
11 Yna ei holl geraint, a'i holl garesau,
a phawb o'i gydnabod ef o'r blaen, a
ddaethant atto, ac a fwyttasant fwyd gyd
ag ef yn ei dŷ, ac a gwynasant iddo, ac
a'i cysurasant ef, am yr holl ddrwg a ddyg-
asai 'r ARGLWYDD arno ef: a hwy a rodd-
asant iddo bob un ddarn o arian, a phob un
dlws o aur.
12 Felly'r ARGLWYDD a fendithiodd ddi-
wedd Job yn fwy nâ'i ddechreuad: canys yr
oedd ganddo bedair mil ar ddeg o ddefaid, a
chwe mil o gamelod, a mil o gyplau ychen,
a mil o asynod.
13 Ac yr oedd iddo saith o feibion, a thair
o ferched.
14 Ac efe a alwodd enw y gyntaf, Jemi-
mah; ac enw yr ail, Cesiah; ac enw y dry-
dedd, Ceren-happuc.
15 Ac ni cheid gwragedd mor lân a
merched Job yn yr holl wlad honno: a'u
tad a roddes iddynt hwy etifeddiaeth ym
mhlith eu brodyr.
16 A Job a fu fyw wedi hyn gant a deu-
gain o flynyddoedd; ac a welodd o'i feib-
ion, a meibion ei feibion, bedair cenhedl-
aeth.
17 Felly Job a fu farw yn hen, ac yn
llawn o ddyddiau.

# ¶ * LLYFR Y PSALMAU.

* Luc 20. 42. Act 1. 20.

## PSALM I. — *Boreol Weddi.*

1 *Dedwyddwch y duwiol.* 4 *Annedwyddwch yr annuwiol.*

GWYN ei fyd [a] y gwr ni rodia ynghyn-
gor yr annuwiolion, ac ni saif yn ffordd
pechaduriaid, ac [b] nid eistedd yn eisteddfa
gwatwarwŷr.
2 Ond *sydd* â'i ewyllys ynghyfraith yr
Arglwydd; [c] ac yn myfyrio yn ei gyf-
raith ef ddydd a nos.
3 Ac [d] efe a fydd fel pren wedi ei blannu
ar lan afonydd dyfroedd, yr hwn a rydd ei
ffrwyth yn ei bryd; a'i ddalen ni † wŷwa, a
pha beth bynnag a wnel, efe a lwydda.
4 Nid felly *y bydd* yr annuwiol; ond
[e] fel mân us yr hwn a chwal y gwynt ym-
aith.
5 Am hynny yr annuwiolion [f] ni safant
yn y farn, na phechaduriaid ynghynnulleidfa
y rhai cyfiawn.
6 Canys [g] yr Arglwydd a edwyn ffordd
y rhai cyfiawn: ond ffordd yr annuwiolion a
ddifethir.

[a] Diar. 4. 14, 15. [b] Psal. 26. 4. Jer. 15. 17. [c] Jos. 1. 8. Psal. 119. 97. [d] Jer. 17. 8. Ezec. 47. 12. † Heb. ddiflanna. [e] Job 21. 18. Psal. 35. 5. Esay 17. 13. a 29. 5. Hos. 13. 13. [f] Doeth. 5. 1. [g] Nah. 1. 7.

## PSALM II.

1 *Brenhiniaeth Crist.* 10 *A chynghori brenhinoedd i'w derbyn.*

1047. PAHAM [a] y terfysga 'r cenhedloedd, ac y
myfyria 'r bobloedd beth ofer?
2 Y mae brenhinoedd y ddaear yn ym-
osod, a'r pennaethiaid yn ymgynghori yn-
ghŷd, yn erbyn yr Arglwydd, ac yn erbyn
ei [b] Grist ef, *gan ddywedyd,*
3 [c] Drylliwn eu rhwymau hwy, a thaflwn
eu rheffynnau oddi wrthym.
4 [d] Yr hwn sydd yn preswylio yn y nef-
oedd a chwardd: yr Arglwydd a'u gwat-
war hwynt.
5 Yna y llefara efe wrthynt yn ei lid,
ac yn ei ddigllonrwydd y † dychryna efe
hwynt.
6 Minnau a ‡ osodais fy Mrenhin ar Sïon
§ fy mynydd sanctaidd.
7 Mynegaf ‖ y ddeddf: dywedodd yr
Arglwydd wrthyf, [e] Fy mab *ydwyt* ti;
myfi heddyw a'th genhedlais.
8 [f] Gofyn i mi, a rhoddaf y cenhedloedd
yn etifeddiaeth i ti, a therfynau 'r ddaear
i'th feddiant.
9 [g] Drylli hwynt â gwïalen haiarn; mal-
uri hwynt fel llestr pridd.
10 Gan hynny 'r awr hon, frenhinoedd,
byddwch synhwyrol: barnwŷr y ddaear,
cymmerwch ddysg.
11 Gwasanaethwch yr Arglwydd mewn
ofn, ac ymlawenhêwch mewn dychryn.
12 Cusenwch y mab, rhag iddo ddigio,
a'ch difetha chwi o'r ffordd, pan gynneuo
ei lid ef, ond ychydig. [h] Gwŷn eu byd
pawb a ymddiriedant ynddo ef.

[a] Psal. 46. 6. Act. 4. 25. [b] Psal. 45. 7. [c] Jer. 5. 5. Luc 19. 14. [d] Psal. 37. 13. a 59. 8. Diar. 1. 26. † Neu, blina. ‡ Heb. enneiniais. § Heb. mynydd fy sancteiddrwydd. ‖ Neu, yn lle deddf. [e] Act. 13. 33. Heb. 1. 5. a 5. 5. [f] Psal. 22. 27. a 72. 8. a 89. 27. Edrych Ioan 17. 4, 5. [g] Dat. 2. 27. a 12. 5. a 19. 15. [h] Psal. 34. 8. Diar. 16. 20. Esay 30. 18. Jer. 17. 7. Rhuf. 9. 33. a 10. 11. 1 Petr 2. 6.

## PSALM III.

*Diogelwch nawdd ac ymddiffyn Duw.*

¶ Psalm Dafydd, [a] pan ffodd efe rhag Absalom ei fab.

[a] 2 Sam. 15. 16, 17, 18.

1023. ARGLWYDD, mor aml yw fy nhrallod-
wŷr? llawer *yw* y rhai sy'n codi i'm
herbyn.
2 Llawer *yw y rhai* sy'n dywedyd am fy
enaid, Nid *oes* iachawdwriaeth iddo yn ei
Dduw. Selah.
3 Ond tydi, Arglwydd, *ydwyt* dar-
ian † i mi; fy ngogoniant, a [b] dyrchafydd
fy mhen.
4 A'm llef y gelwais ar yr Arglwydd,
ac efe a'm clybu o'i fynydd sanctaidd.
Selah.
5 [c] Mi a orweddais, ac a gysgais; *ac* a
ddeffroais: canys yr Arglwydd a'm cyn-
haliodd.
6 [d] Nid ofnaf fyrddiwn o bobl, y rhai o
amgylch a ymosodasant i'm herbyn.
7 Cyfod, Arglwydd; achub fi, fy
Nuw: canys [e] tarewaist fy holl elynion
*ar* garr yr ên; torraist ddannedd yr an-
nuwiolion.
8 [f] Iachawdwriaeth *sydd eiddo*'r Ar-
glwydd: dy fendith *sydd* ar dy bobl.
Selah.

† Neu, drosof fi. [b] Esay 27. 6. [c] Ezec. 26. 6. Psal. 4. 8. Diar. 3. 23. [d] Psal. 27. 3. [e] Job 16. 10. Psal. 58. 6. [f] Diar. 21. 31. Esay 43. 11. Jer. 3. 23. Hos. 13. 4. Ioan 2. 9. Dat. 7. 10. a 19. 1.

## PSALM IV.

1 *Dafydd yn gweddïo ar gael ei wrando:* 2 *yn ceryddu, ac yn cynghori ei elynion.* 6 *Yn ffafr Duw y mae dedwyddwch dyn.*

¶ I'r * Pencerdd ar Neginoth, Psalm Dafydd.

GWRANDO fi pan alwyf, O Dduw fy
nghyfiawnder: mewn cyfyngder yr
ehengaist arnai; † trugarhâ wrthyf, ac
erglyw fy ngweddi.
2 O feibion dynion, pa hŷd *y trowch* fy
ngogoniant yn warth? yr hoffwch wegi, *ac*
yr argeisiwch gelwydd? Selah.
3 Ond gwybyddwch i'r Arglwydd neill-
duo 'r duwiol iddo ei hun: yr Arglwydd
a wrendy pan alwyf arno.
4 [a] Ofnwch, ac na phechwch: [b] ym-
ddiddenwch â'ch calon ar eich gwely, a
thewch. Selah.
5 Aberthwch [c] ebyrth cyfiawnder; a go-
beithiwch yn yr Arglwydd.
6 Llawer *sy*'n dywedyd, Pwy a ddengys
i ni ddaioni? [d] Arglwydd, dyrcha arnom
lewyrch dy wyneb.
7 Rhoddaist lawenydd yn fy nghalon,
mwy nâ'r amser yr amlhaodd eu hŷd a'u
gwin hwynt.
8 [e] Mewn heddwch hefyd y gorweddaf,
ac yr hunaf: canys ti, Arglwydd, yn unig
a wnei i mi [f] drigo mewn dïogelwch.

* Neu, golygwr, Hab. 3. 19. † Neu, bydd rasol i mi. [a] Ephes. 4. 26. [b] Psal. 77. 6. [c] Deut. 33. 19. Psal. 50. 14. a 51. 19. [d] Num. 6. 26. Psal. 80. 3, 7, 19. a 119. 135. [e] Job 11. 18, 19. Psal. 3. 5. [f] Lef. 25. 18, 19. a 26. 5. Deut. 12. 10.

## PSALM V.

1 *Dafydd yn gweddïo, ac yn datgan ei ddiwydrwydd yn gweddïo.* 4 *Ni ffafria Duw'r enwir.* 7 *Dafydd yn dangos ei ffydd, ac yn gweddïo ar Dduw am ei gyfarwyddo ef,* 10 *a difetha ei elynion,* 11 *a chadw'r duwiol.*

¶ I'r Pencerdd ar Nehiloth, Psalm Dafydd.

GWRANDO fy ngeiriau, Arglwydd;
deall fy myfyrdod.
2 Erglyw ar lef fy ngwaedd, fy Mrenhin,
a'm Duw: canys arnat y gweddïaf.
3 [a] Yn fore, Arglwydd, y clywi fy llef;
yn fore y cyfeiriaf *fy ngweddi* attat, ac yr
edrychaf i fynu.
4 O herwydd nid *wyt* ti Dduw 'n
ewyllysio anwiredd: a drwg ni thrig gyd
â thi.

[a] Psal. 30. 5. a 130. 6.

5 [b] Ynfydion ni safant † yn dy olwg: caseaist holl weithredwŷr anwiredd.
6 Difethi y rhai a ddywedant gelwydd: [c] yr ARGLWYDD a ffieiddia'r gwr gwaedlyd a'r twyllodrus.
7 A minnau a ddeuaf i'th dŷ di yn amlder dy drugaredd; *ac* a addolaf tu ‡ a'th deml sanctaidd yn dy ofn di.
8 ARGLWYDD, arwain fi yn dy gyfiawnder, o achos § fy ngelynion; *ac* [d] uniona dy ffordd o'm blaen.
9 Canys nid *oes* || uniondeb yn † eu genau; eu ceudod *sydd* anwireddau: [e] bedd agored *yw* eu cêg; gwenhieithiant â'u tafod.
10 ‡ Distrywia hwynt, O DDUW; syrthiant oddi wrth eu cynghorion: gyr hwynt ymaith yn amlder eu camweddau: canys gwrthryfelasant i'th erbyn.
11 Ond llawenhâed y rhai oll a ymddiriedant ynot ti: llafar-ganant yn dragywydd; am i ti orchuddio drostynt: *a'r* rhai a garant dy enw, gorfoleddant ynot.
12 Canys ti, ARGLWYDD, a fendithi y cyfiawn: â charedigrwydd megis *â* tharian y coroni di ef.

[b] Hab. 1. 13. † Heb. *o flaen dy lygaid.* [c] Psal. 55. 23. ‡ Heb. *a theml dy sancteiddrwydd.* § Heb. *fy ngwylwŷr.* [d] Psal. 25. 4. a 27. 11. || Neu, *ffyddlondeb, neu, sicrwydd.* † Neu, *ei enau.* [e] Rhuf. 3. 13. Luc 11. 44. ‡ Neu, *Gwna hwynt yn euog.*

## PSALM VI. *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Achwynion Dafydd yn ei glefyd.* 8 *Y mae efe trwy ffydd yn ymorfoleddu ar ei elynion.*

¶ I'r pencerdd ar Neginoth ar * y Seminith, Psalm Dafydd.

ARGLWYDD, [a] na cherydda fi yn dy lidiowgrwydd, ac na chospa fi yn dy lid.
2 Trugarhâ wrthyf, ARGLWYDD; canys llesg *ydwyf* fi: iachâ fi, O ARGLWYDD; canys fy esgyrn a gystuddiwyd.
3 A'm henaid a ddychrynwyd yn ddirfawr: tithau, ARGLWYDD, pa hŷd?
4 Dychwel, ARGLWYDD, gwared fy enaid: achub fi er mwyn dy drugaredd.
5 [b] Canys yn angau nid *oes* goffa am danat: yn y bedd pwy a'th folianna?
6 Diffygiais gan fy ochain; bob nos yr ydwyf yn gwneuthur fy ngwely yn foddfa: yr ydwyf fi yn gwlychu fy ngorweddfa â'm dagrau.
7 [c] Treuliodd fy llygad gan ddigter: heneiddiodd o herwydd fy holl elynion.
8 [d] Ciliwch oddi wrthyf, holl weithredwŷr anwiredd: canys yr ARGLWYDD a glywodd lef fy wylofain.
9 Clybu'r ARGLWYDD fy neisyfiad: yr ARGLWYDD a dderbyn fy ngweddi.
10 Gwaradwydder a thralloder yn ddirfawr fy holl elynion: dychweler *a* chywilyddier hwynt yn ddisymmwth.

* *yr wythfed.* Edrych 1 Cor. 15. 21. [a] Psal. 38. 1. Jer. 10. 24. a 46. 28. [b] Psal. 30. 9. a 88. 11. a 115. 17. a 118. 17. Esay 38. 18. [c] Job 17. 7. Psal. 31. 9. a 38. 10. a 88. 9. Galar. 5. 17. [d] Psal. 119. 115. Mat. 7. 23. a 25. 41. Luc 13. 27.

## PSALM VII.

1 *Dafydd yn gweddïo yn erbyn malais ei elynion, ac yn dangos ei wiriondeb;* 10 *a thrwy ffydd yn gweled yr ymddiffynnid ef, ac y difethid ei elynion.*

¶ [a] Sigaion Dafydd, yr hwn a ganodd efe i'r ARGLWYDD oblegid * geiriau Chus fab Jemini.

ARGLWYDD fy NUW, ynot yr ymddiriedais: achub fi rhag fy holl erlidwŷr, a gwared fi.
2 Rhag iddo larpio fy enaid fel llew, gan ei rwygo, pryd na byddo gwaredydd.
3 O ARGLWYDD fy NUW, os gwneuthum hyn; od oes anwiredd yn fy nwylaw;

[a] Hab. 3. 1. * Neu, *achosion.* Cylch 1062.

4 O thelais ddrwg i'r neb oedd heddychol â mi (ïe, [b] mi a waredais yr hwn sydd elyn i mi heb achos)
5 Erlidied y gelyn fy enaid, a goddiwedded: sathred hefyd fy mywyd i'r llawr, a gosoded fy ngogoniant yn y llwch. Selah.
6 [c] Cyfod, ARGLWYDD, yn dy ddigllonedd, ymddyrcha, o herwydd llid fy ngelynion: [d] deffro hefyd drosof i'r farn a orchymynaist.
7 Felly cynnulleidfa'r bobloedd a'th amgylchynant: er eu mwyn dychwel dithau i'r uchelder.
8 Yr ARGLWYDD a farn y bobloedd: barn fi, O ARGLWYDD, [e] yn ol fy nghyfiawnder, ac yn ol fy mherffeithrwydd *sydd* ynof.
9 Darfydded weithian anwiredd yr annuwiolion, eithr cyfarwydda di y cyfiawn: [f] canys y DUW cyfiawn a chwilia'r calonnau a'r arennau.
10 † Fy ymddiffyn *sydd* o DDUW, Iachawdwr y rhai uniawn o galon.
11 DUW ‡ sydd Farnydd y cyfiawn, a DUW sy ddigllon beunydd wrth yr annuwiol.
12 Oni ddychwel *yr annuwiol,* efe [g] a hoga ei gleddyf: efe a annelodd ei fwa, ac a'i parottôdd.
13 Parottôdd hefyd iddo arfau angheuol: [h] efe a drefnodd ei saethau yn erbyn yr erlidwŷr.
14 [i] Wele, efe a ymddŵg anwiredd, ac a feichiogodd ar gamwedd, ac a esgorodd ar gelwydd.
15 Torrodd bwll, cloddiodd ef, [k] syrthiodd hefyd yn y clawdd a wnaeth.
16 [l] Ei anwiredd a ymchwel ar ei ben ei hun, a'i draha a ddisgyn ar ei goppa ei hun.
17 Clodforaf yr ARGLWYDD yn ol ei gyfiawnder, a chanmolaf enw'r ARGLWYDD goruchaf.

[b] 1 Sam. 24. 7. a 26. 9. [c] Psal. 94. 2. [d] Psal. 44. 23. [e] Psal. 18. 20. [f] 1 Sam. 16. 7. 1 Chron. 28. 9. Psal. 139. 1. Jer. 11. 20. a 17. 10. a 20. 12. Dat. 2. 23. † Heb. *Fy nharian sydd ar Dduw.* ‡ *a farna'r cyfiawn.* [g] Deut. 32. 41. [h] Deut. 32. 23, 42. [i] Job 15. 35. Esay 33. 11. a 59. 4. Iago 1. 15. [k] Job 4. 8. Psal. 9. 15. a 10. 2. a 35. 8. a 94. 23. a 141. 10. Diar. 5. 22. a 26. 27. Preg. 10. 8. [l] 1 Bren. 2. 32.

## PSALM VIII.

*Mawrygu gogoniant Duw, wrth ei weithredoedd, ac wrth ei gariad tu ag at ddyn.*

¶ I'r Pencerdd * ar Gittith, Psalm Dafydd.

ARGLWYDD ein IOR ni, mor ardderchog *yw* dy enw ar yr holl ddaear! yr hwn [a] a osodaist dy ogoniant uwch y nefoedd.
2 [b] O enau plant bychain a rhai yn sugno y † peraist nerth, o achos dy elynion, i ostegu [c] y gelyn a'r ymddïalydd.
3 Pan edrychwyf ar y nefoedd, gwaith dy fysedd; y lloer a'r ser, y rhai a ordeiniaist;
4 [d] Pa beth *yw* dyn, i ti i'w gofio? a mab dyn, i ti i ymweled ag ef?
5 Canys gwnaethost ef ychydig îs nâ'r angylion, ac a'i coronaist â gogoniant ac â harddwch.
6 [e] Gwnaethost iddo arglwyddiaethu ar weithredoedd dy ddwylaw; [f] gosodaist bob *peth* dan ei draed ef:
7 Defaid ac ychen oll, *ac* anifeiliaid y maes hefyd;
8 Ehediaid y nefoedd, a physgod y môr, *ac* y sydd yn tramwyo llwybrau'r moroedd.
9 ARGLWYDD ein IOR, mor ardderchog *yw* dy enw ar yr holl ddaear!

* Psal. 81. a 84. titl. [a] Psal. 113. 4. a 148. 13. [b] Mat. 21. 16. Edrych Mat. 11. 25. 1 Cor. 1. 27. † Heb. *seiliaist.* [c] Psal. 44. 16. [d] Job 7. 17. Psal. 144. 3. Heb. 2. 6. [e] Gen. 1. 26, 28. [f] 1 Cor. 15. 27. Heb. 2. 7.

## PSALM IX. *Boreol Weddi.*

1 *Dafydd yn moliannu Duw am wneuthur barn;* 11 *ac yn annog eraill i'w glodfori ef,* 13 *ac yn gweddïo ar iddo gael achos i'w folianu ef.*

¶ I'r Pencerdd ar Muth-labben, Psalm Dafydd.

1018. CLODFORAF di, O ARGLWYDD, â'm holl galon: mynegaf dy holl ryfeddodau.

2 Llawenychaf a gorfoleddaf ynot: canaf i'th enw di, [a] y Goruchaf.

3 Pan ddychweler fy ngelynion yn eu hol, hwy a gwympant ac a ddifethir o'th flaen di.

4 Canys gwnaethost fy marn a'm matter *yn dda:* eisteddaist ar orseddfaingc, gan farnu † yn gyfiawn.

5 Ceryddaist y cenhedloedd, distrywiaist yr annuwiol; [b] eu henw hwynt a ddileaist byth bythol.

6 ‡ Ha elyn, darfu am ddinystr yn dragywydd: a diwreiddiaist y dinasoedd; darfu eu coffadwriaeth gyd â hwynt.

7 Ond yr ARGLWYDD a bery yn dragywydd: efe a barottôdd ei orseddfaingc i farn.

8 Ac [c] efe a farn y byd mewn cyfiawnder: efe a farn y bobloedd mewn uniondeb.

9 [d] Yr ARGLWYDD hefyd fydd § noddfa i'r gorthrymmedig, noddfa yn amser trallod.

10 A'r rhai a adwaenant dy enw, a ymddiriedant ynot: canys ni adewaist, O ARGLWYDD, y rhai a'th geisient.

11 Cannolwch yr ARGLWYDD, yr hwn sydd yn preswylio yn Sïon: mynegwch ym mysg y bobloedd ei weithredoedd ef.

12 [e] Pan ymofyno efe am waed, efe a'u cofia hwynt: nid anghofia waedd y cystuddiol.

13 Trugarhâ wrthyf, ARGLWYDD; gwel fy mlinder gan fy nghaseion, fy nyrchafydd o byrth angau:

14 Fel y mynegwyf dy holl foliant ym mhyrth merch Sïon: llawenychaf yn dy iachawdwriaeth.

15 [f] Y cenhedloedd a soddasant yn y ffos a wnaethant: yn y rhwyd a guddiasant, y daliwyd eu troed eu hun.

16 Adweinir yr ARGLWYDD wrth y farn a wna: yr annuwiol a faglwyd yngweithredoedd ei ddwylaw ei hun. [g] Higgaion; Selah.

17 Y rhai drygionus a ymchwelant i uffern, *a*'r holl genhedloedd a anghofiant DDUW.

18 Canys nid anghofir y tlawd byth: gobaith y trueiniaid *ni* chollir byth.

19 Cyfod, ARGLWYDD; na orfydded dyn: barner y cenhedloedd ger dy fron di.

20 Gosod, ARGLWYDD, ofn arnynt: *fel y* gwybyddo'r cenhedloedd *mai* dynion ydynt. Selah.

[a] Psal. 83. 18. † Heb. *cyfiawnder.* [b] Deut. 9. 14. ‡ Neu, *Darfu am ddinystr y gelyn yn dragywydd.* [c] Psal. 96. 13. a 98. 9. [d] Psal. 32. 7. a 37. 39. a 46. 1. a 91. 2. § Neu, *uchelfa.* [e] Gen. 9. 5. [f] Psal. 7. 15, 16. a 35. 8. a 57. 6. a 94. 13, 23. Diar. 5. 22. a 22. 8. a 26. 27. [g] Psal. 19. 14, a 92. 3.

## PSALM X.

1 *Dafydd yn cwyno wrth Dduw rhag traha'r annuwiol;* 12 *ac yn gweddio am ymwared;* 16 *ac yn dangos ei hyder.*

PAHAM, ARGLWYDD, y sefi o bell? yr ymguddi yn amser cyfyngder?

2 Yr annuwiol mewn balchder a erlid y tlawd: [a] dalier hwynt yn y bwriadau a ddychymmygasant.

3 Canys yr annuwiol a ymffrostia am ewyllys ei † galon; ‡ ac [b] a fendithia'r cybydd, *yr hwn* y mae'r ARGLWYDD yn ei ffieiddio.

4 Yr annuwiol, gan uchder ei ffroen, ni chais *DDUW:* § nid *yw* Duw yn ei holl [c] feddyliau ef.

5 Ei ffyrdd sydd flin bob amser; [d] uchel *yw* dy farnedigaethau allan o'i olwg ef: chwythu y mae yn erbyn ei holl elynion.

6 Dywedodd yn ei galon, Ni'm symmudir: o herwydd ni *byddaf* mewn drygfyd hyd genhedlaeth a chenhedlaeth.

7 [e] Ei enau sydd yn llawn melldith, a dichell, a thwyll: dan ei dafod *y mae* ‖ camwedd † ac anwiredd.

8 Y mae efe yn eistedd ynghynllwynfa'r pentrefydd: [f] mewn cilfachau y lladd efe'r gwirion: ei lygaid a ‡ dremiant yn ddirgel ar y tlawd.

9 Efe a gynllwyna mewn dirgelwch megis llew yn ei ffau: cynllwyn y mae i ddal y tlawd: efe a ddeil y tlawd, gan ei dynnu i'w rwyd.

10 Efe a § ymgrymma, *ac* a ymostwng, fel y cwympo tyrfa trueiniaid gan ei gedyrn ef.

11 Dywedodd yn ei galon, Anghofiodd Duw: [g] cuddiodd ei wyneb; ni wel byth.

12 Cyfod, ARGLWYDD; O DDUW, dyrcha dy law: nac anghofia'r cystuddiol.

13 Paham y dirmyga'r annuwiol DDUW? dywedodd yn ei galon, Nid ymofyni.

14 Gwelaist *hyn*; canys ti a ganfyddi anwiredd a cham, i roddi *tâl* â'th ddwylaw dy hun: arnat ti y gedy'r tlawd; [h] ti yw cynnorthwywr yr ymddifad.

15 [i] Tor fraich yr annuwiol a'r drygionus: cais ei ddrygioni ef *hyd* na chaffech ddim.

16 [k] Yr ARGLWYDD *sydd* Frenhin byth ac yn dragywydd: difethwyd y cenhedloedd allan o'i dir ef.

17 ARGLWYDD, clywaist ddymuniad y tlodion: ‖ parottôi eu calon hwynt, gwrendy dy glust *arnynt;*

18 I farnu'r ymddifad a'r gorthrymmedig, fel na chwanego dyn daearol † beri ofn mwyach.

[a] Psal. 7. 16. a 9. 15, 16. Diar. 5. 22. † Heb. *enaid.* ‡ Neu, *a'r cybydd a ymfendithia, ffieiddio yr Arglwydd y mae.* [b] Diar. 28. 4. Rhuf. 1. 32. § Neu, *ei holl feddyliau yw, nad oes Duw.* [c] Psal. 14. 1. a 53. 1. [d] Diar. 24. 7. [e] Rhuf. 3. 14. ‖ *blinder.* † *a gwagedd.* [f] Hab. 3. 14. ‡ Heb. *a thwyll.* ‡ Heb. *lechant, neu, ymguddiant.* § Heb. *ymddryllia.* [g] Job 22. 13. Psal. 73. 11 a 94. 7. [h] Psal. 68. 5. [i] Psal. 37. 17. [k] Psal. 29. 10. a 145. 13. a 146. 10. Jer. 10. 10 Galar. 5. 19. Dan. 4. 34. a 6. 26. 1 Tim. 1. 17. ‖ Neu, *sicrhei.* † Neu, *orthrymmu.*

## PSALM XI.

1 *Dafydd yn ymgysuro yn Nuw yn erbyn ei elynion.* 4 *Rhagddarbodaeth a chyfiawnder Duw.*

¶ I'r Pencerdd, *Psalm* Dafydd.

YN yr ARGLWYDD yr wyf yn ymddiried: [a] pa fodd y dywedwch wrth fy enaid, Eheda † i'ch mynydd *fel* aderyn?

2 Canys wele, [b] y drygionus a annelant fwa, parottoisant eu saethau ar y llinyn; i saethu ‡ yn ddirgel y rhai uniawn o galon.

3 § Canys y seiliau a ddinystriwyd, pa beth a § wna'r cyfiawn?

4 [c] Yr ARGLWYDD *sydd* yn nheml ei sancteiddrwydd; gorseddfa'r ARGLWYDD *sydd* yn y nefoedd: [d] y mae ei lygaid ef yn gweled, ei amrantau yn profi meibion dynion.

5 Yr ARGLWYDD a brawf y cyfiawn: eithr cas gan ei enaid ef y drygionus, a'r hwn sydd hoff ganddo drawsder.

6 [e] Ar yr annuwiolion y gwlawia efe faglau, tân a brwmstan, a phoethwynt ystormus: [f] *dyma* ran eu phiol hwynt.

7 Canys yr ARGLWYDD cyfiawn a gâr gyfiawnder: ei wyneb a edrych ar yr uniawn.

Cylch 1060. [a] Edrych 1 Sam. 26. 19. † i'r. [b] Psal. 64. 3, 4. ‡ Heb. *mewn tywyllwch.* § *Os gwnaeth y.* [c] Hab. 2. 20. [d] Psal. 33. 13. a 34. 15, 16. a 66. 7. [e] Gen. 19. 24. Ezec. 38. 22. [f] Psal. 75. 8. Edrych Gen. 43. 34. 1 Sam. 1. 4. a 9. 23.

PSALM XII. } { *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Dafydd, heb ganddo ddim cysur dynol, yn erfyn cymmorth gan Dduw, 3 ac yn ymgysuro â barnedigaethau Duw ar yr enwir, a'i ymddiried yn mhrofedig addewidion Duw.*

¶ I'r Pencerdd ar * Seminith, Psalm Dafydd.

ACHUB, ARGLWYDD; canys [a] darfu y trugarog: o herwydd pallodd y ffyddloniaid o blith meibion dynion.

2 Oferedd a ddywedant bob un wrth ei gymmydog: [b] â gwefus wenhieithgar, ac â † chalon ddau ddyblyg, y llefarant.

3 Torred yr ARGLWYDD yr holl wefusau gwenhieithus, a'r tafod a ddywedo fawrhydri.

4 Y rhai a ddywedant, A'n tafod y gorfyddwn; ein gwefusau sydd ‡ eiddom ni: pwy sydd arglwydd arnom ni?

5 O herwydd anrhaith y rhai cystuddiedig, o herwydd uchenaid y tlodion, y cyfodaf yn awr (medd yr ARGLWYDD) rhoddaf mewn iachawdwriaeth yr hwn y § magler iddo.

6 [c] Geiriau'r ARGLWYDD ydynt eiriau purion; fel arian wedi ei goethi mewn ffwrn bridd, wedi ei buro seithwaith.

7 Ti, ARGLWYDD, a'u cedwi hwynt: cedwi ‖ hwynt rhag y genhedlaeth hon yn dragywydd.

8 Yr annuwiolion a rodiant o amgylch, pan ddyrchafer y gwaelaf o feibion dynion.

* yr wythfed, Psal. 6. titl.
[a] Esay 57. 1. Michah 7. 2.
[b] Psal. 28. 3. Jer. 9. 8.
† Heb. chalon a chalon.
‡ Heb. gyd â ni.
§ chwyther arno.
[c] 2 Sam. 22. 31. Psal. 18. 30. a 119. 140. Diar. 30. 5.
‖ Heb. ef.

PSALM XIII.

1 *Dafydd yn cwyno bod yn oedi ei ymwared ef: 3 yn gweddio am ras i'w ragflaenu: 5 yn ymffrostio yn nhrugaredd Duw.*

¶ I'r * Pencerdd, Psalm Dafydd.

PA hŷd, ARGLWYDD, y'm hanghofi? ai yn dragywydd? pa hŷd [a] y cuddi dy wyneb rhagof?

2 Pa hŷd y cymmeraf gynghorion yn fy enaid, gan fod blinder beunydd yn fy nghalon? pa hŷd y dyrchefir fy ngelyn arnaf?

3 Edrych a chlyw fi, O ARGLWYDD fy NUW: goleua fy llygaid, [b] rhag im' huno yn yr angau:

4 [c] Rhag dywedyd o'm gelyn, Gorchfygais ef; ac i'm gwrthwynebwŷr lawenychu, os gogwyddaf.

5 Minnau hefyd a ymddiriedais yn dy drugaredd di; fy nghalon a ymlawenycha yn dy iachawdwriaeth: canaf i'r ARGLWYDD, am iddo synio arnaf.

* Golygwr.
[a] Deut. 31. 17. Job 13. 24. Psal. 44. 24. a 89. 46.
[b] Jer. 51. 39.
[c] Psal. 25. 2.

PSALM XIV.

1 *Dafydd yn dangos llygredigaeth natur dyn: 4 yn argyoeddi'r annuwiol trwy olcuni eu cydwybod eu hun: 7 yn ymogoneddu yn iachawdwriaeth Duw.*

¶ I'r Pencerdd, *Psalm* Dafydd.

YR [a] ynfyd a ddywedodd yn ei galon, Nid oes un Duw. [b] Ymlygrasant; ffieiddwaith a wnaethant: nid oes a wnel ddaioni.

2 [c] Yr ARGLWYDD a edrychodd i lawr o'r nefoedd ar feibion dynion, i weled a oedd neb deallgar, yn ymgeisio â Duw.

3 Ciliodd pawb; cyd-ymddifwynasant: [d] nid oes a wnel ddaioni, nac oes un.

4 † Oni ŵyr holl weithredwŷr anwiredd? y rhai sy [e] 'n bwytta fy mhobl fel y bwyttaent fara: [f] ni alwasant ar yr ARGLWYDD.

[a] Psal. 10. 4. a 53. 1.
[b] Rhuf. 3. 10, &c.
[c] Psal. 102. 19.
[d] Rhuf. 3. 10.
† Onid oes wybodaeth gan holl?
[e] Amos 8. 4. Michah 3. 3.
[f] Esay 64. 7.

5 Yno y dychrynasant gan ofn; canys y mae Duw ynghenhedlaeth y cyfiawn.

6 Cyngor y tlawd a waradwyddasoch chwi; am fod yr ARGLWYDD yn obaith iddo.

7 [g] Pwy a ddyry iachawdwriaeth i Israel o Sïon! pan [h] ddychwelo'r ARGLWYDD gaethiwed ei bobl, yr ymhyfryda Jacob, ac y llawenhâ Israel.

[g] Edrych Rhuf. 11. 26.
[h] Job 42. 10. 26. 1.

PSALM XV. } { *Boreol Weddi.*

*Dafydd yn dangos pa fath sydd ar ddinasyddion Sion.*

¶ Psalm Dafydd.

ARGLWYDD, [a] pwy a † drig yn dy babell? pwy a breswylia ym mynydd dy sancteiddrwydd?

2 [b] Yr hwn a rodia yn berffaith, ac a wnel gyfiawnder, ac a ddywed wir ‡ yn ei galon:

3 [c] Heb absennu â'i dafod, heb wneuthur drwg i'w gymmydog, ac heb [d] dderbyn enllib yn erbyn ei gymmydog.

4 Yr hwn y mae'r drygionus yn ddirmygus yn ei olwg; ond a anrhydedda y rhai a ofnant yr ARGLWYDD: yr hwn a dwng i'w niweid ei hun, ac ni newidia.

5 [e] Yr hwn ni roddes ei arian ar usuriaeth, ac [f] ni chymmer wobr yn erbyn y gwirion. A wnelo hyn, nid ysgogir yn dragywydd.

[a] Psal. 24. 3, &c.
† Heb. ymdeithia.
[b] Esay 33. 15.
‡ â'i galon.
[c] Lef. 19. 16. Psal. 34. 13.
[d] Exod. 23. 1.
[e] Exod. 22. 25. Lef. 25. 36. Deut. 23. 19. Ezec. 18. 8. a 22. 12.
[f] Exod. 23. 8. Deut. 16. 19.

PSALM XVI.

1 *Dafydd, o anymddiried i'w haeddedigaethau ei hun, ac o gas ar ddelw-addoliaeth, yn cyrchu at Dduw am ymwared: 5 yn dangos gobaith ei alwedigaeth, yr adgyfodiad, a bywyd tragywyddol.*

¶ * Michtam Dafydd.

CADW fi, O DDUW; canys ynot yr ymddiriedaf.

2 Fy enaid, dywedaist wrth yr ARGLWYDD, Fy Arglwydd ydwyt ti: [a] fy nâ nid yw ddim i ti:

3 Ond i'r saint sydd ar y ddaear, a'r rhai rhagorol, yn y rhai y mae fy holl hyfrydwch.

4 Gofidiau a amlhânt i'r rhai a † frysiant ar ol duw dïeithr: eu dïod-offrwm o waed nid offrymmaf fi, ac [b] ni chymmeraf eu henwau yn fy ngwefusau.

5 [c] Yr ARGLWYDD yw rhan fy ‡ etifeddiaeth i [d] a'm phïol: ti a gynheli fy nghoelbren.

6 Y llinynnau a syrthiodd i mi mewn lleoedd hyfryd; ïe, y mae i mi etifeddiaeth dêg.

7 Bendithiaf yr ARGLWYDD, yr hwn a'm cynghorodd: fy arennau hefyd a'm dysgant y nos.

8 [e] Gosodais yr ARGLWYDD bob amser ger fy mron: am [f] ei fod ar fy neheulaw, ni'm hysgogir.

9 O herwydd hynny llawenychodd fy nghalon, ac [g] ymhyfrydodd fy ngogoniant: fy nghnawd hefyd a § orphwys mewn gobaith.

10 [h] Canys ni adewi fy enaid yn uffern; ac ni oddefi i'th Sanct weled llygredigaeth.

11 Dangosi i mi lwybr bywyd: [i] digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron, ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd.

* Psalm euraid. Felly Psalm 56—60.
[a] Job 22. 2, 3. a 35. 7, 8. Psal. 50. 9. Rhuf. 11. 35.
† Neu, anrhegant eraill.
[b] Jos. 23. 7. Hos. 2. 16, 17.
[c] Deut. 31. 9. Psal. 73. 26. a 142. 5. Galar. 3. 24.
‡ Heb. rhandir.
[d] Psal. 11. 6.
[e] Act. 2. 25.
[f] Psal. 73. 23. a 110. 5. a 121. 5.
[g] Psal. 30. 12. a 57. 8.
§ Heb. mewn ylia yn ddiogel.
[h] Act. 2. 31. a 13. 35.
[i] Psal. 17. 15. a 21. 6. Mat. 5. 8. 1 Cor. 13. 12. 1 Ioan 3. 2.

PSALM XVII.

1 *Dafydd, o hyder ar ei wirionedd, yn gofyn cymmorth Duw yn erbyn ei elynion; 10 yn dangos eu balchder, a'u dichell, a'u creulondeb hwy; 13 yn gweddïo yn eu herbyn hwy, mewn hyder ar ei obaith.*

¶ Gweddi Dafydd.

CLYW, ARGLWYDD, gyfiawnder; ystyria fy llefain, gwrando fy ngweddi † o wefusau didwyll.
2 Deued fy marn oddi ger dy fron; edryched dy lygaid ar uniondeb.
3 Profaist fy nghalon, gofwyaist *fi* y nos; [a] chwiliaist fi, *ac* ni chei ddim: bwriedais na throseddai fy ngenau.
4 Tu ag at am weithredoedd dynion, wrth eiriau dy wefusau yr ymgedwais *rhag* llwybrau yr yspeilydd.
5 [b] Cynnal fy ngherddediad yn dy lwybrau, *fel* ‡ na lithro fy nhraed.
6 [c] Mi a elwais arnat; canys gwrandewi arnaf fi, O DDUW: gostwng dy glust attaf, *ac* erglyw fy ymadrodd.
7 [d] Dangos dy ryfedd drugareddau, O Achubydd y rhai a ymddiriedant *ynot,* rhag y sawl a ymgyfodant yn erbyn dy ddeheulaw.
8 [e] Cadw fi fel canwyll llygad: [f] cudd fi dan gysgod dy adenydd,
9 Rhag yr annuwiolion, y rhai a'm § gorthrymmant; *rhag* fy ngelynion || marwol, *y rhai* a'm hamgylchant.
10 [g] Cauasant gan eu brasder: â'u genau y llefarant mewn balchder.
11 Ein cynniweirfa ni a gylchynasant hwy yr awrhon: gosodasant eu llygaid i dynnu i lawr i'r ddaear.
12 † Eu dull *sydd* fel llew a chwennychai 'sglyfaethu, ac megis llew ieuangc yn aros mewn lleoedd dirgel.
13 Cyfod, ARGLWYDD, achub ei flaen ef, cwympa ef: gwared fy enaid rhag yr annuwiol, ‡ *yr hwn yw* dy gleddyf di.
14 Rhag dynion *y rhai yw* dy law, O ARGLWYDD, rhag dynion y byd, [h] *y rhai* y mae eu rhan yn y bywyd *yma,* a'r rhai y llenwaist eu boliau â'th guddiedig *drysor:* llawn § ydynt o feibion, a gadawant eu gweddill i'w rhai bychain.
15 Myfi a edrychaf ar dy wyneb mewn cyfiawnder: [i] digonir fi, pan ddihunwyf, â'th ddelw di.

† Heb. heb wefusau twyll.
[a] Job 23. 10. Psal. 26. 2. a 66. 10. Zech. 13. 9. Mal. 3. 2, 3. 1 Petr 1. 7.
[b] Psal. 119. 133.
‡ Heb. nad ysgogo.
[c] Psal. 116. 2.
[d] Psal. 31. 21.
[e] Deut. 32. 10. Zech. 2. 8.
[f] Ruth 2. 12. Psal. 36. 7. a 57. 1. a 63. 7. a 91. 1, 4. Mat. 23. 37.
§ Heb. anrheithiant.
|| Heb. yn erbyn yr enaid.
[g] Deut. 32. 15. Job 15. 27. Psal. 73. 7. a 119. 70.
† Heb. Ei ddull.
‡ Neu, â'th gleddyf.
[h] Luc 16. 25.
§ Neu, yw eu meibion.
[i] Psal. 4. 6, 7. a 16. 11. a 65. 4.

## PSALM XVIII. — *Prydnhawnol Weddi.*

*Dafydd yn moliannu Duw am ei amryw a'i ryfeddol fendithion.*

¶ I'r Pencerdd, *Psalm* Dafydd, [a] gwas yr ARGLWYDD, yr hwn a lefarodd wrth yr ARGLWYDD eiriau [b] y gân hon, yn y dydd y gwaredodd yr ARGLWYDD ef o law ei holl elynion, ac o law Saul: ac efe a ddywedodd,

CARAF [c] di, ARGLWYDD fy nghadernid.
2 Yr ARGLWYDD *yw* fy nghraig, a'm hymddiffynfa, a'm gwaredydd; fy NUW, † fy nghadernid, [d] yn yr hwn yr ymddiriedaf; fy nharian, a chorn fy iachawdwriaeth, *a'm* huchel-dwr.
3 Galwaf ar yr ARGLWYDD [e] canmoladwy: felly y'm cedwir rhag fy ngelynion.
4 [f] Gofidion angau a'm cylchynasant, ac afonydd ‡ y fall a'm dychrynasant i.
5 § Gofidiau uffern a'm cylchynasant: maglau angau a achubasant fy mlaen.
6 Yn fy nghyfyngder y gelwais ar yr ARGLWYDD, ac y gwaeddais ar fy NUW: efe a glybu fy llef o'i deml, a'm gwaedd ger ei fron a ddaeth i'w glustiau ef.

[a] Psal. 36. 1.
[b] 2 Sam. 22.
[c] Psal. 144. 1.
† Heb. fy nghraig.
[d] Heb. 2. 13.
[e] Psal. 76. 4.
[f] Psal. 116. 3.
‡ dynion annuwiol Heb. Belial.
§ Neu, Rheffynnau.

7 Yna y siglodd ac y crynodd y ddaear; a seiliau'r mynyddoedd a gynhyrfodd ac a ymsiglodd, am iddo ef ddigio.
8 Dyrchafodd mwg || o'i ffroenau, a thân a ysodd o'i enau: glo a ennynasant ganddo.
9 [g] Efe hefyd a ostyngodd y nefoedd, ac a ddisgynodd: a thywyllwch *oedd* dan ei draed ef.
10 Marchogodd hefyd ar y cerub, ac a ehedodd: ie, [h] efe a ehedodd ar adenydd y gwynt.
11 [i] Efe a wnaeth dywyllwch yn ddirgelfa iddo; a'i babell o'i amgylch *oedd* dywyllwch dyfroedd, *a* thew-gymmylau yr awyr.
12 Gan y disgleirdeb *oedd* ger ei fron, ei gymmylau a aethant heibio; cenllysg a marwor tanllyd.
13 Yr ARGLWYDD hefyd a daranodd yn y nefoedd, a'r Goruchaf a roddes ei lef; cenllysg a marwor tanllyd.
14 Ie, [k] efe a anfonodd ei saethau, ac a'u gwasgarodd hwynt; ac a saethodd *ei* fellt, ac a'u gorchfygodd hwynt.
15 Gwaelodion y dyfroedd a welwyd, a seiliau'r byd a ddinoethwyd gan dy gerydd di, O ARGLWYDD, *a* chan chwythad anadl dy ffroenau.
16 [l] Anfonodd oddi uchod, cymmerodd fi, tynnodd fi allan o ddyfroedd † lawer.
17 Efe a'm gwaredodd oddi wrth fy ngelyn cadarn, a rhag fy nghaseion: canys yr oeddynt yn drech nâ mi.
18 Achubasant fy mlaen yn nydd fy ngofid: ond yr ARGLWYDD oedd gynhaliad i mi.
19 [m] Dug fi hefyd i ehangder: gwaredodd fi; canys ymhoffodd ynof.
20 Yr ARGLWYDD a'm gobrwyodd yn ol fy nghyfiawnder; yn ol glendid fy nwylaw y talodd efe i mi.
21 Canys cedwais ffyrdd yr ARGLWYDD, ac ni chiliais yn annuwiol oddi wrth fy NUW.
22 O herwydd ei holl farnedigaethau ef *oedd* ger fy mron i, a'i ddeddfau ni fwriais oddi wrthyf.
23 Bûm hefyd yn berffaith gyd ag ef, ac ymgedwais rhag fy anwiredd.
24 A'r ARGLWYDD a'm gobrwyodd yn ol fy nghyfiawnder, yn ol purdeb fy nwylaw o flaen ei lygaid ef.
25 A'r trugarog y gwnai drugaredd; â'r gwr perffaith y gwnai berffeithrwydd.
26 A'r glân y gwnai lendid; ac [n] â'r cyndyn yr ymgyndynni.
27 Canys ti a waredi'r bobl gystuddiedig: ond ti a ostyngi [o] olygon uchel.
28 O herwydd ti a oleui fy ‡ nghanwyll: yr ARGLWYDD fy NUW a lewyrcha fy nhywyllwch.
29 Oblegid ynot ti y § rhedais trwy fyddin; ac yn fy NUW y llemmais dros fur.
30 Duw [p] *sydd* berffaith ei ffordd: [q] gair yr ARGLWYDD sydd wedi ei buro: tarian *yw* efe i bawb a ymddiriedant ynddo.
31 [r] Canys pwy *sydd* DDUW heb law yr ARGLWYDD? a phwy *sydd* graig ond ein Duw ni?
32 Duw [s] sy'n fy ngwregysu â nerth, ac yn gwneuthur fy ffordd yn berffaith.
33 [t] Gosod y mae efe fy nhraed fel *traed* ewigod; ac [u] ar fy uchel-fannau y'm sefydlu.

|| Neu, trwy ei ffroenau.
[g] Psal. 144. 5.
[h] Psal. 104. 3.
[i] Psal. 97. 2.
[k] Jos. 10. 10. Psal. 144. 6. Esay 30. 30.
[l] Psal. 144. 7.
† Neu, mawrion.
[m] Psal. 31. 8. a 118. 5.
[n] Lef. 26. 23, 24, 27, 28.
[o] Psal. 101. 5. Diar. 6. 17.
‡ Neu, lamp. Job 29. 3.
§ Neu, torrais.
[p] Deut. 32. 4. Dan. 4. 37. Dat. 15. 3.
[q] Psal. 12. 6. a 119. 140. Diar. 30. 5.
[r] Deut. 32. 31, 39. 1 Sam. 2. 2. Psal. 86. 8. Esay 45. 5.
[s] Psal. 92. 1.
[t] 2 Sam. 2. 18. Hab. 3. 19.
[u] Deut. 32. 13. a 33. 29.

34 [x] Efe sy'n dysgu fy nwylaw i ryfel;
fel y dryllir bwa dur yn fy mreichiau.
35 Rhoddaist hefyd i mi darian dy iach-
awdwriaeth; a'th ddeheulaw a'm cynhal-
iodd, † a'th fwynder a'm lliosogodd.
36 Ehangaist fy ngherddediad danaf; fel
na lithrodd fy ‡ nhraed.
37 Erlidiais fy ngelynion, ac a'u goddi-
weddais: ac ni ddychwelais nes eu difa
hwynt.
38 Archollais hwynt, fel na allent godi:
syrthiasant dan fy nhraed.
39 Canys gwregysaist fi â nerth i ryfel:
§ darostyngaist danaf y rhai a ymgododd
i'm herbyn.
40 Rhoddaist hefyd i mi warrau fy nge-
lynion; fel y difethwn fy nghaseion.
41 Gwaeddasant, ond nid *oedd* achubydd:
[y] *sef* ar yr ARGLWYDD, ond nid attebodd
efe hwynt.
42 Maluriais hwynt hefyd fel llwch o flaen
y gwynt: [z] teflais hwynt allan megis tom
yr heolydd.
43 [a] Gwaredaist fi rhag cynhennau 'r bobl;
[b] gosodaist fi yn ben cenhedloedd: [c] pobl
nid adnabûm, a'm gwasanaethant.
44 ‖ Pan glywant am danaf, ufuddhânt i
mi: [d] meibion dieithr a † gymmerant ar-
nynt ymddarostwng i mi.
45 Meibion dieithr a ballant, ac a ddy-
chrynant allan o'u dirgel fannau.
46 Byw yw'r ARGLWYDD, a bendithier
fy nghraig: a dyrchafer DUW fy iachawd-
wriaeth.
47 DUW *sydd* yn rhoddi i mi *allu* ym-
ddïal, ac a ‡ ddarostwng y bobloedd
danaf.
48 Efe sydd yn fy ngwared oddi wrth
fy ngelynion: ïe, [e] ti a'm dyrchefi uwch-
law y rhai a gyfodant i'm herbyn: achub-
aist fi rhag y gwr § traws.
49 [f] Am hynny y ‖ moliannaf di, O AR-
GLWYDD, ym mhlith y cenhedloedd, ac y
canaf i'th enw.
50 Efe sydd yn gwneuthur mawr ym-
wared i'w Frenhin; ac yn gwneuthur tru-
garedd i'w enneiniog, i Ddafydd, ac i'w
had ef [g] byth.

[x] Psal. 144. 1.
† Neu, ac a'th fwynder y'm lliosogaist.
‡ Heb. fferau, neu, sodlau.
§ Heb. plygaist, neu, crymaist.
[y] Job 27. 9. a 35. 12. Diar. 1. 28. Esay 1. 15. Jer. 11. 11. a 14. 12. Ezec. 8. 18. Michah 3. 4. Zech. 7. 13.
[z] Zech. 10. 5.
[a] 2 Sam. 2. 9, 10. a 3. 1.
[b] 2 Sam. 8.
[c] Deut. 33. 29. Psal. 66. 3. a 81. 15.
‖ Heb. Wrth glywed y glust.
[d] Michah 7. 17.
† Heb. ddywedant gelwydd wrthyf.
‡ Neu, ddifetha.
[e] Psal. 59. 1.
§ Neu, trais.
[f] Rhuf. 15. 9.
‖ Neu, cyffesaf.
[g] 2 Sam. 7. 13.

## PSALM XIX. { *Boreol Weddi.*

1 *Bod y creaduriaid yn dangos gogoniant Duw;* 7 *a'i air yn dangos ei ras ef.* 12 *Dafydd yn gweddïo am ras.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

Y [a] Nefoedd sy'n datgan gogoniant DUW;
a'r ffurfafen sy'n mynegi gwaith ei
ddwylaw ef.
2 Dydd i ddydd a draetha ymadrodd, a
nos i nos a ddengys wybodaeth.
3 Nid *oes* iaith nac ymadrodd, † *lle* ni
chlybuwyd eu lleferydd hwynt.
4 [b] Eu ‡ llinyn a aeth trwy 'r holl ddaear,
a'u geiriau hyd eithafoedd byd: i'r haul y
gosododd efe babell ynddynt;
5 Yr hwn *sydd* fel gwr priod yn dyfod
allan o'i ystafell: *ac* [c] a ymlawenhâ fel cawr
i redeg gyrfa.
6 O eithaf y nefoedd *y mae* ei fynediad ef
allan, a'i amgylchiad hyd eu heithafoedd
hwynt: ac nid ymgudd dim oddi wrth ei
wres ef.
7 [d] § Cyfraith yr ARGLWYDD *sydd* ber-
ffaith, yn ‖ troi'r enaid: tystiolaeth yr AR-
GLWYDD *sydd* sicr, ac yn gwneuthur y gwir-
ion yn ddoeth.

[a] Gen. 1. 6. Esay 40. 22. Rhuf. 1. 19, 20.
† *heb y rhai hyn y clywir eu llef hwynt.* Heb. *heb glywed eu lleferydd.*
[b] Rhuf. 10. 18.
‡ Neu, *rheol.*
[c] Preg. 1. 5.
[d] Psal. 111. 7.
§ Neu, *Addysg.*
‖ Neu, *adferu.*

8 Deddfau'r ARGLWYDD *sydd* uniawn,
yn llawenhâu 'r galon: gorchymyn yr AR-
GLWYDD *sydd* bur, yn goleuo 'r llygaid.
9 Ofn yr ARGLWYDD *sydd* lân, yn
parhâu yn dragywydd; barnau 'r AR-
GLWYDD *ydynt* wirionedd, cyfiawn *ydynt*
i gyd.
10 [e] Mwy dymunol *ŷnt* nag aur, ïe, nag
aur coeth lawer: [f] melysach hefyd nâ 'r
mel, ac nâ diferiad diliau mel.
11 Ynddynt hwy hefyd y rhybuddir dy
was: o'u cadw *y mae* gwobr lawer.
12 [g] Pwy a ddeall *ei* gamweddau? glanhâ
fi oddi wrth *fy meiau* [h] cuddiedig.
13 Attal hefyd dy was oddi wrth *bechodau*
rhyfygus; [i] na arglwyddiaethont arnaf:
yna y'm perffeithir, ac y'm glanheir oddi
wrth † anwiredd lawer.
14 Bydded ymadroddion fy ngenau, a
myfyrdod fy nghalon, yn gymmeradwy
ger dy fron, O ARGLWYDD, fy nghraig
a'm prynwr.

[e] Psal. 119. 72, 127. Diar. 8. 11, 19.
[f] Psal. 119. 103.
[g] Psal. 40. 12.
[h] Psal. 90. 8.
[i] Psal. 119. 133. Rhuf. 6. 12, 14.
† *yr anwiredd mawr.*

## PSALM XX.

1 *Yr eglwys yn bendithio'r Brenhin yn ei fawrhydi.* 7 *Ei hyder hi ynghymmorth Duw.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

GWRANDAWED yr ARGLWYDD arnat
yn nydd cyfyngder: enw DUW Jacob
a'th † ddiffynno.
2 Anfoned ‡ i ti gymmorth o'r cyssegr, a
§ nerthed di o Sïon.
3 Cofied dy holl offrymmau, a ‖ bydded
foddlon i'th boeth-offrwm. Selah.
4 Rhodded i ti wrth *fodd* dy galon; a
chyflawned dy holl gyngor.
5 Gorfoleddwn yn dy iachawdwriaeth di,
a dyrchafwn faner [a] yn enw ein DUW:
cyflawned yr ARGLWYDD dy holl ddymu-
niadau.
6 Yr awr hon y gwn y gwared yr AR-
GLWYDD ei enneiniog: efe a wrendy arno o
nefoedd ei sancteiddrwydd, yn nerth iechyd
ei ddeheulaw ef.
7 [b] *Ymddiried* rhai mewn cerbydau, a
rhai mewn meirch: ond nyni a gofiwn enw
yr ARGLWYDD ein DUW.
8 Hwy a gwympasant, ac a syrthiasant;
ond nyni a gyfodasom, ac a safasom.
9 Achub, ARGLWYDD: gwrandawed y
Brenhin arnom yn y dydd y llefom.

† Heb. *ddyrchafo.*
‡ Heb. *dy gymmorth.*
§ Heb. *atteged,* neu, *cynhalied.*
‖ Heb. *gwnaed yn lludw,* neu, *yn fras.*
[a] Exod. 17. 15. Psal. 60. 4.
[b] Psal. 33. 16. Diar. 21. 31. Esay 31. 1.

## PSALM XXI.

1 *Tâl diolch am fuddugoliaeth:* 7 *a hyder ar gael ychwaneg o lwyddiant.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

ARGLWYDD, yn dy nerth y llaweny-
cha 'r Brenhin: ac yn dy iachawdwri-
aeth di mor ddirfawr yr ymhyfryda!
2 Deisyfiad ei galon a roddaist iddo; a
dymuniad ei wefusau ni's gommeddaist.
Selah.
3 Canys achubaist ei flaen ef â bendithion
daioni: gosodaist ar ei ben ef goron o aur
coeth.
4 [a] Gofynodd oes gennyt, *a* rhoddaist
iddo: *ïe,* [b] † hir oes, byth ac yn dragywydd.
5 Mawr *yw* ei ogoniant yn dy iachawd-
wriaeth: gosodaist arno ogoniant a phryd-
ferthwch.
6 Canys gwnaethost ef yn fendithion yn
dragywyddol; llawenychaist ef â llawenydd
â'th wynebpryd.
7 O herwydd bod y Brenhin yn ymddiried
yn yr ARGLWYDD, a thrwy drugaredd y
Goruchaf nid ysgogir ef.

[a] Psal. 61. 6.
[b] 2 Sam. 7. 19.
† Heb. *hir o ddyddiau.*

8 Dy law a gaiff afael ar dy holl elynion: dy ddeheulaw a gaiff afael ar dy gaseion.

9 Ti a'u gwnai hwynt fel ffwrn danllyd yn amser dy lid: yr ARGLWYDD yn ei ddigllonedd a'u llwngc hwynt, a'r tân a'u hysa hwynt.

10 [c] Eu ffrwyth hwynt a ddinystri di oddi ar y ddaear, a'u had o blith meibion dynion.

11 Canys bwriadasant ddrwg i'th erbyn: meddyliasant amcan, heb allu o honynt *ei gwblhâu.*

12 Am hynny [d] y gwnei iddynt droi eu † cefnau: ar dy linynnau y parottôi di *saethau* yn erbyn eu hwynebau.

13 Ymddyrcha, ARGLWYDD, yn dy nerth: canwn, a chanmolwn dy gadernid.

[c] Job 18. 16, 19. Psal. 37. 28. a 109. 13.
[d] Edrych Job. 7. 20. a 16. 12. Galar. 3. 12.
† Heb. *ysgwydd.*

PSALM XXII. } { *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Dafydd yn achwyn mewn anghysur mawr:* 9 *yn gweddïo mewn cyfyngder mawr;* 23 *ac yn clodfori Duw.*

¶ I'r Pencerdd ar * Aieleth hasahar, Psalm Dafydd.

FY [a] Nuw, fy Nuw, paham y'm gwrthodaist? *paham yr ydwyt* mor bell oddi wrth fy iachawdwriaeth, *a* [b] geiriau fy llefain?

2 Fy Nuw, llefain yr ydwyf y dydd, ac ni wrandewi; y nos hefyd, ac † nid *oes* osteg i mi.

3 Ond tydi *wyt* sanctaidd, *O dydi* yr hwn wyt yn cyfanneddu ym moliant Israel.

4 Ein tadau a obeithiasant ynot: gobeithiasant, a gwaredaist hwynt.

5 Arnat ti y llefasant, ac achubwyd hwynt: [c] ynot yr ymddiriedasant, ac ni's gwaradwyddwyd hwynt.

6 A minnau, pryf *ydwyf,* ac nid gwr; [d] gwarthrudd dynion, a dirmyg y bobl.

7 [e] Pawb a'r a'm gwelant, a'm gwatwarant: ‡ llaesant wefl, [f] ysgydwant ben, *gan ddywedyd,*

8 [g] § Ymddiriedodd yn yr ARGLWYDD; gwareded ef: achubed ef, ‖ gan ei fod yn dda ganddo.

9 Canys [h] ti a'm tynnaist o'r groth: † gwnaethost i mi obeithio *pan oeddwn* ar fronnau fy mam.

10 Arnat ti y'm bwriwyd o'r bru: o groth fy mam fy Nuw *ydwyt.*

11 Nac ymbellhâ oddi wrthyf; o herwydd cyfyngder *sydd* agos: canys nid *oes* cynnorthwywr.

12 Teirw lawer a'm cylchynasant: gwrdd *deirw* [i] Basan a'm hamgylchasant.

13 [k] Agorasant arnaf eu genau, *fel* llew rheibus a rhuadwy.

14 Fel dwfr y'm tywalltwyd, a'm hesgyrn oll a ymwahanasant: [l] fy nghalon sydd fel cwyr; hi a doddodd ynghanol fy ‡ mherfedd.

15 Fy nerth a wywodd fel priddlestr; [m] a'm tafod a lynodd wrth daflod fy ngenau: ac i lwch angau y'm dygaist.

16 Canys cwn a'm cylchynasant; cynnulleidfa'r drygionus a'm hamgylchasant: [n] trywanasant fy nwylaw a'm traed.

17 Gallaf gyfrif fy holl esgyrn: [o] y maent yn tremio *ac* yn edrych arnaf.

18 [p] Y maent yn rhannu fy nillad yn eu mysg, ac ar fy ngwisg yn bwrw coelbren.

19 Ond tydi, ARGLWYDD, nac ymbellhâ: fy nghadernid, brysia i'm cynnorthwyo.

* *ewig y bore.*
[a] Mat. 27. 46. Marc 15. 34.
[b] Heb. 5. 7.
† *nid wyf yn tawi.*
[c] Psal. 25. 2. a 31. 1. a 71. 1. Esay 49. 23. Rhuf. 9. 33.
[d] Esay 53. 3.
[e] Mat. 27. 39.
‡ Heb. *agorant.*
[f] Job 16. 4. Psal. 109. 25.
[g] Mat. 27. 43.
§ Heb. *Ymdreiglodd at yr.*
‖ Heb. *os yw.*
[h] Psal. 71. 6. Esay 46. 3.
† Neu, *diogelaist fi.*
[i] Deut. 32. 14. Psal. 68. 30. Ezec. 39. 18. Amos 4. 1.
[k] Job 16. 10. Galar. 2. 16. a 3. 46.
[l] Job 23. 16.
‡ *ymysgaroedd.*
[m] Galar. 4. 4.

[n] Mat. 27. 35. Marc 15. 24. Luc 23. 33. Ioan 19. 23, 37. a 20. 25. [o] Luc 23. 35. [p] Luc 23. 34. Ioan 19. 34.

20 Gwared fy enaid rhag y cleddyf, [q] fy unig *enaid* o § feddiant y ci.

21 [r] Achub fi rhag safn y llew: canys o blith cyrn unicorniaid y'm gwrandewaist.

22 [s] Mynegaf dy enw [t] i'm brodyr: ynghanol y gynulleidfa y'th folaf.

23 Y rhai sy yn ofni'r ARGLWYDD, molwch ef: holl had Jacob, gogoneddwch ef; a holl had Israel, ofnwch ef.

24 Canys ni ddirmygodd, ac ni ffieiddiodd gystudd y tlawd; ac ni chuddiodd ei wyneb rhagddo: ond [u] pan lefodd efe arno, efe a wrandawodd.

25 [x] Fy mawl *sydd* o honot ti yn y gynnulleidfa fawr: [y] fy addunedau a dalaf ger bron y rhai a'i hofnant ef.

26 [z] Y tlodion a fwyttânt, ac a ddiwellir: y rhai a geisiant yr ARGLWYDD, a'i moliannant ef: eich calon fydd byw yn dragywydd.

27 [a] Holl derfynau'r ddaear a gofiant, ac a droant at yr ARGLWYDD: a holl dylwythau y cenhedloedd a addolant ger dy fron di.

28 Canys eiddo'r ARGLWYDD *yw*'r deyrnas: ac efe *sydd* yn llywodraethu ym mhlith y cenhedloedd.

29 Yr holl *rai* breision ar y ddaear a fwyttânt, ac a addolant: [b] y rhai a ddisgynant i'r llwch, a ymgrymmant ger ei fron ef; ac nid oes neb a all gadw yn fyw ei enaid ei hun.

30 *Eu* had a'i gwasanaetha ef: [c] cyfrifir ef i'r ARGLWYDD yn genhedlaeth.

31 Deuant, ac [d] adroddant ei gyfiawnder ef i'r bobl a enir, mai efe a wnaeth *hyn.*

[q] Psal. 35. 17.
§ Heb. *law.*
[r] 2 Tim. 4. 17.
[s] Heb. 2. 12.
[t] Ioan 20. 17. Rhuf. 8. 29.
[u] Heb. 5. 7.
[x] Psal. 35. 18.
[y] Psal. 116. 14.
[z] Lef. 7. 11, 12, 15, 16. Esay 60. 32. Esay 65. 13.
[a] Psal. 2. 8. a 72. 11. a 86. 9.
[b] Esay 26. 20. Phil. 2. 10.
[c] Psal. 87. 6.
[d] Edrych Rhuf. 3. 21, 22.

PSALM XXIII.

*Hyder Dafydd ar ras Duw.*

¶ Psalm Dafydd.

YR ARGLWYDD *yw* [a] fy Mugail; [b] ni bydd eisiau arnaf.

2 Efe a wna im' orwedd mewn porfeydd gwelltog: efe a'm tywys ger llaw'r dyfroedd † tawel.

3 Efe a ddychwel fy enaid: [c] efe a'm harwain ar hŷd llwybrau cyfiawnder er mwyn ei enw.

4 Ië, pe rhodiwn ar hŷd glyn [d] cysgod angau, [e] nid ofnaf niweid: canys *yr wyt* ti gyd â mi; dy wïalen a'th ffon a'm cysurant.

5 [f] Ti a arlwyi fort ger fy mron yngŵydd fy ngwrthwynebwyr: ‡ iraist fy mhen ag olew; fy phiol sydd lawn.

6 Daioni a thrugaredd yn ddïau a'm canlynant holl ddyddiau fy mywyd: a phreswyliaf yn nhŷ'r ARGLWYDD § yn dragywydd.

[a] Exod. 40. 11. Jer. 23. 4. Ezec. 34. 23. Ioan 10. 11. 1 Petr 2. 25. Dat. 7. 17.
[b] Phil. 4. 19.
† Heb. *llonyddwch.*
[c] Psal. 5. 8. a 31. 3.
[d] Job 3. 5. a 10. 21, 22. a 24. 17. Psal. 44. 19.
[e] Psal. 3. 6. a 118. 6.

[f] Psal. 104. 15. ‡ Heb. *brasaist.* § Heb. *dros hir ddyddiau.*

PSALM XXIV. } { *Boreol Weddi.*

1 *Arglwyddiaeth Duw ym y byd hwn.* 3 *Dinasyddion ei ysprydol deyrnas ef.* 7 *Cyngor i'w dderbyn ef.*

¶ Psalm Dafydd.

EIDDO [a] 'r ARGLWYDD y ddaear, a'i 1017
chyflawnder; y byd, ac a breswylia ynddo.

2 [b] Canys efe a'i seiliodd ar y moroedd, ac a'i sicrhaodd ar yr afonydd.

[a] Exod. 9. 29. a 19. 5. Deut. 10. 14. Job 41. 11. Psal. 50. 12.

1 Cor. 10. 26, 28. [b] Job 38. 6. Psal. 104. 5. a 136. 6. 2 Petr 3. 5.

[c] Psal. 15. 3 [c] Pwy a esgyn i fynydd yr ARGLWYDD?
1. a phwy a saif yn ei le sanctaidd ef?
[d] Esay 33. 4 [d] Y glân *ei* ddwylaw, a'r pur *ei* galon;
15, 16. yr hwn ni ddyrchafodd ei † feddwl at wag-
† Heb. edd, ac ni thyngodd i dwyllo.
*enaid.* 5 Efe a dderbyn fendith gan yr AR-
GLWYDD, a chyfiawnder gan DDUW ei
iachawdwriaeth.
6 Dyma genhedlaeth y rhai a'i ceisiant
[e] Psal. 28. ef, y rhai [e] a geisiant dy wyneb di, ‡ O Ja-
8. cob. Selah.
‡ Neu, 7 O byrth, dyrchefwch eich pennau; ac
*O Dduw* ymddyrchefwch, ddrysau tragywyddol; a
*Jacob.* Brenhin y gogoniant a ddaw i mewn.
8 Pwy *yw*'r Brenhin gogoniant hwn? yr
ARGLWYDD nerthol a chadarn, yr AR-
GLWYDD cadarn mewn rhyfel.
9 O byrth, dyrchefwch eich pennau; ac
ymddyrchefwch, ddrysau tragywyddol; a
Brenhin y gogoniant a ddaw i mewn.
10 Pwy yw'r Brenhin gogoniant hwn?
ARGLWYDD y lluoedd, efe *yw* Brenhin y
gogoniant. Selah.

## PSALM XXV.

1 *Hyder Dafydd yn ei weddi.* 7 *Y mae yn gweddïo am faddeuant pechodau,* 16 *ac am gymmorth mewn trallod.*

¶ *Psalm* Dafydd.

[a] Psal. 86. ATTAT [a] ti, O ARGLWYDD, y dyrchafaf
4. a 143. 8. fy enaid.
[b] Psal. 22. 2 O fy NUW, [b] ynot ti 'r ymddiriedais:
5. a 31. 1. na'm gwaradwydder; [c] na orfoledded fy
a 34. 8.
Esay 28. 16. ngelynion arnaf.
a 49. 23. 3 Ië, na waradwydder neb sydd yn dis-
Rhuf. 10.
11. gwyl wrthyt ti: gwaradwydder y rhai a
[c] Psal. 13. droseddant heb achos.
4. 4 [d] Par i mi wybod dy ffyrdd, O AR-
[d] Exod. 33. GLWYDD: dysg i mi dy lwybrau.
13.
Psal. 5. 8. 5 Tywys fi yn dy wirionedd, a dysg fi:
a 27. 11. a canys ti *yw* DUW fy iachawdwriaeth; wrth-
86. 11. a yt ti y disgwyliaf ar hŷd y dydd.
119. a 143.
8, 10. 6 Cofia, ARGLWYDD, [e] dy † dosturiaeth-
[e] Psal. 103. au, a'th drugareddau: canys erioed *y maent*
17. a 106. hwy.
1. a 107. 1. 7 Na chofia [f] bechodau fy ieuengctid,
Jer. 33. 11. na'm camweddau: yn ol dy drugaredd
† Heb. meddwl di am danaf, er mwyn dy ddaioni,
*amysgar-*
*oedd.* ARGLWYDD.
[f] Job 13. 8 Da ac uniawn *yw* yr ARGLWYDD: o
26. a 20. 11. herwydd hynny y dysg efe bechaduriaid yn
Jer. 3. 25. y ffordd.
9 Y rhai llariaidd a hyfforddia efe mewn
barn: a'i ffordd a ddysg efe i'r rhai gostyng-
edig.
10 Holl lwybrau 'r ARGLWYDD *ydynt* dru-
garedd a gwirionedd, i'r rhai a gadwant ei
gyfammod a'i dystiolaethau ef.
11 Er mwyn dy enw, ARGLWYDD, ma-
[g] Edrych ddeu fy anwiredd: [g] canys mawr *yw*.
Rhuf. 5. 20. 12 Pa wr *yw* efe sy'n ofni 'r ARGLWYDD?
efe a'i dysg ef yn y ffordd a ddewiso.
‡ Heb. 13 Ei enaid ef a ‡ erys mewn daioni:
*lettya.* [h] a'i had a etifedda 'r ddaear.
[h] Psal. 37. 14 [i] Dirgelwch yr ARGLWYDD *sydd* gyd
11, 22, 29. â'r rhai a'i hofnant ef: a'i gyfammod hefyd,
[i] Diar. 3.
32. § i'w cyfarwyddo hwynt.
Edrych 15 Fy llygaid *sydd* yn wastad ar yr AR-
Ioan 7. 17. GLWYDD: canys efe a ddwg fy nhraed
a 15. 15.
§ Heb. allan o'r rhwyd.
*i beri* 16 Tro attaf, a thrugarhâ wrthyf: canys
*iddynt* unig a thlawd *ydwyf*.
*wybod.* 17 Gofidiau fy nghalon a helaethwyd:
dwg fi allan o'm cyfyngderau.
18 Gwel fy nghystudd a'm helbul, a ma-
ddeu fy holl bechodau.
19 Edrych ar fy ngelynion; canys amlhas-
ant; â chasineb traws *hefyd* y'm casasant.
20 Cadw fy enaid, ac achub fi: na'm gwa-
radwydder; canys ymddiriedais ynot.
21 Cadwed perffeithrwydd ac uniondeb
fi: canys yr wyf yn disgwyl wrthyt.
22 O DDUW, gwared Israel o'i holl gyf-
yngderau.

## PSALM XXVI.

*Dafydd yn cyrchu at Dduw, mewn hyder o'i ddiniweidrwydd.*

¶ *Psalm* Dafydd.

BARN [a] fi, ARGLWYDD; canys rhod- [a] Psal. 7. 8.
iais yn fy mherffeithrwydd: ymddir-
iedais hefyd yn yr ARGLWYDD; *am hynny*
ni lithraf.
2 [b] Hola fi, ARGLWYDD, a phrawf fi: [b] Psal. 7. 9.
[c] chwilia fy arennau a'm calon. a 17. 3. a 66. 10. a
3 Canys dy drugaredd *sydd* o flaen fy lly- 139. 23.
gaid: ac mi a rodiais yn dy wirionedd. Zech. 13. 9.
4 [d] Nid eisteddais gyd â dynion coegion; [c] Psal. 7. 9.
a chyd â'r rhai trofaus nid af. [d] Psal. 1. 1.
5 Caseais gynnulleidfa 'r drygionus; a Jer. 15. 17.
chyd â'r annuwiolion nid eisteddaf.
6 [e] Golchaf fy nwylaw mewn diniweid- [e] Psal. 73.
rwydd: a'th allor, O ARGLWYDD, a am- 13. Edrych
gylchynaf: Exod. 30.
7 I gyhoeddi â llef clodforedd, ac i fynegi 19, 20.
dy holl ryfeddodau.
8 ARGLWYDD, [f] hoffais drigfan dy dŷ, a [f] Psal. 24. 7.
lle † preswylfa dy ogoniant. † Neu, *ta-*
9 [g] Na chasgl fy enaid gyd â phechadur- *bernacl.*
iaid, na'm bywyd gyd â dynion gwaedlyd. [g] Psal. 28.
10 Y rhai *y mae* ysgelerder yn eu dwylaw, 3. Edrych
a'u deheulaw yn llawn gwobrau. 1 Sam. 25.
11 Eithr mi a rodiaf yn fy mherffeith- 29.
rwydd: gwared fi, a thrugarhâ wrthyf.
12 [h] Fy nhroed sydd yn sefyll ar yr un- [h] Psal. 40.
ion: yn y cynnulleidfaoedd y'*th* fendithiaf, 2.
*O* ARGLWYDD.

## PSALM XXVII. { *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Dafydd yn attegu ei ffydd, trwy allu Duw,* 4 *trwy ei serch i wasanaeth Duw,* 9 *a thrwy weddi.*

¶ *Psalm* Dafydd.

YR [a] ARGLWYDD *yw* fy ngoleuni a'm [a] Psal. 84.
iachawdwriaeth; rhag pwy yr ofnaf? 11. Esay 60.
[b] yr ARGLWYDD *yw* nerth fy mywyd; rhag 19, 20.
pwy y dychrynaf? Michah 7.
2 Pan nesaodd y rhai drygionus, *sef* fy 8.
ngwrthwynebwŷr a'm gelynion, i'm her- [b] Psal. 118. 6.
byn, i fwytta fy nghnawd, hwy a dram-
gwyddasant ac a syrthiasant.
3 [c] Pe gwersyllai llu i'm herbyn, nid ofna [c] Psal. 3. 6.
fy nghalon: pe cyfodai cad i'm herbyn, yn
hyn mi *a fyddaf* hyderus.
4 [d] Un *peth* a ddeisyfiais i gan yr AR- [d] Psal. 26.
GLWYDD, hynny a geisiaf; *sef* caffael trigo 8.
yn nhŷ 'r ARGLWYDD holl ddyddiau fy
mywyd, i edrych ar [e] † brydferthwch yr [e] Psal. 90.
ARGLWYDD, ac i ymofyn yn ei deml. 17.
5 Canys [f] yn y dydd blin y'm cuddia o † Neu,
fewn ei babell: yn nirgelfa ei babell y'm *hyfryd-*
cuddia; ar graig y'm cyfyd i. *wch.*
6 Ac yn awr [g] y dyrcha efe fy mhen [f] Psal. 31.
goruwch fy ngelynion o'm hamgylch: am 20. a 83.
hynny 'r aberthaf yn ei babell ef ebyrth ‡ gor- 3. a 91. 1.
foledd; canaf, ïe, canmolaf yr ARGLWYDD. [g] Psal. 3. 3.
7 Clyw, O ARGLWYDD, fy llefervdd *pan* ‡ Heb.
lefwyf: trugarhâ hefyd wrthyf, a gwrando *bloedd.*
arnaf.
8 *Pan ddywedaist,* [h] Ceisiwch fy wyneb; [h] Psal. 24.
fy nghalon a ddywedodd wrthyt, Dy wy- 6. a 105. 4.
neb a geisiaf, O ARGLWYDD.

[i] Psal. 69. 17. 9 [i] Na chuddia dy wyneb oddi wrthyf;
na fwrw ymaith dy was mewn soriant: fy
nghymmorth fuost; na ad fi, ac na wrthod
fi, O DDUW fy iachawdwriaeth.
[k] Esay 49. 15. 10 [k] Pan yw fy nhad a'm mam yn fy
ngwrthod, yr ARGLWYDD a'm † derbyn. († Heb. *casgl.*)
11 [l] Dysg i mi dy ffordd, ARGLWYDD,
[l] Psal. 25. 4. a 86. 11. a 119. ac arwain fi ar hyd llwybrau uniondeb, o
herwydd fy ‡ ngelynion. (‡ Heb. *ngwylwyr.*)
12 Na ddyro fi i fynu i ewyllys fy ngelyn-
ion: canys gau dystion, a *rhai* a adroddant
drawster, a gyfodasant i'm herbyn.
[m] Psal. 56. 13. a 116. 9. a 142. 5. 13 *Diffygiaswn*, pe na chredaswn weled
daioni 'r ARGLWYDD [m] yn nhir y rhai byw.
[n] Psal. 31. 24. a 130. 5. Esay 25. 9. Hab. 2. 3. 14 [n] Disgwyl wrth yr ARGLWYDD: ym-
wrola, ac efe a nertha dy galon: disgwyl,
meddaf, wrth yr ARGLWYDD.

## PSALM XXVIII.

1 *Dafydd yn gweddio yn daer yn erbyn ei elynion; 6 yn bendithio Duw, 9 ac yn gweddio dros y bobl.*

¶ *Psalm* Dafydd.

ARNAT ti, ARGLWYDD, y gwaeddaf; fy
[a] Psal. 83. 1. nghraig, [a] na ddistawa wrthyf: [b] rhag,
o thewi wrthyf, im' fod yn gyffelyb i rai yn
[b] Psal. 143. 7. disgyn i'r pwll.
2 Erglyw lef fy ymbil pan waeddwyf ar-
[c] Psal. 138. 2. nat, pan ddyrchafwyf fy nwylaw [c] tu ag at
† dy gafell sanctaidd. († Heb. *gafell dy gyssegr.*)
3 [d] Na thyn fi gyd â'r annuwiolion, a
chyd â gweithredwyr anwiredd; [e] y rhai
[d] Psal. 26. 9. a lefarant heddwch wrth eu cymmydogion,
a drwg yn eu calon.
[e] Psal. 12. 2. a 55. 21. a 62. 4. Jer. 9. 8. 4 [f] Dyro iddynt yn ol eu gweithred, ac
yn ol drygioni eu dychymygion: dyro idd-
ynt yn ol gweithredoedd eu dwylaw; tâl
[f] 2 Tim. 4. 14. Dat. 18. 6. iddynt eu haeddedigaethau.
5 Am [g] nad ystyriant weithredoedd yr
[g] Job 34. 27. ARGLWYDD, na gwaith ei ddwylaw ef, y
dinystria efe hwynt, ac ni's adeilada hwynt.
6 Bendigedig *fyddo*'r ARGLWYDD: canys
clybu lef fy ngweddïau.
7 Yr ARGLWYDD *yw* fy nerth, a'm tar-
ian; ynddo ef yr ymddiriedodd fy nghalon,
a myfi a gynnorthwywyd: o herwydd hyn
y llawenychodd fy nghalon, ac ar fy nghan
y clodforaf ef.
8 Yr ARGLWYDD *sydd* nerth i'r cyfryw
‡ Neu, *un.* ‡ rai, a chadernid iachawdwriaeth ei Eu-
neiniog *yw* efe.
9 Cadw dy bobl, a bendithia dy etifedd-
§ Neu, *llywodraetha.* iaeth: § portha hwynt hefyd, a dyrcha
hwynt yn dragywydd.

## PSALM XXIX.

1 *Dafydd yn annog tywysogion i roi gogoniant i Dduw; 3 o herwydd ei fawr allu, 11 a'i ymddiffyn i'w bobl.*

¶ Psalm Dafydd.

[a] 1 Chron. 16. 28, 29. Psal. 96. 7, 8, 9. MOESWCH [a] i'r ARGLWYDD, chwi
*feibion* cedyrn, moeswch i'r AR-
GLWYDD ogoniant a nerth.
2 Moeswch i'r ARGLWYDD ogoniant ei
† Neu, *yn ei brydferth gyssegr.* enw: addolwch yr ARGLWYDD † ym mhryd-
ferthwch ei sancteiddrwydd.
3 Llef yr ARGLWYDD *sydd* ar y dyfr-
[b] Job 37. 4, 5. oedd: [b] DUW y gogoniant a darana; yr
ARGLWYDD *sydd* ar y dyfroedd mawrion.
4 Llef yr ARGLWYDD *sy* mewn grym:
llef yr ARGLWYDD *sy* mewn prydferthwch.
5 Llef yr ARGLWYDD *sy*'n dryllio'r cedr-
wydd: ïe, dryllia'r ARGLWYDD gedrwydd
Libanus.
[c] Deut. 3. 9. 6 Efe a wna iddynt lammu fel llo; Li-
banus a [c] Sirion, fel llwdn unicorn.
7 Llef yr ARGLWYDD a ‡ wasgara'r ‡ Neu, *dyr allan.*
fflammau tân.
8 Llef yr ARGLWYDD a wna i'r anial-
wch § grynu: yr ARGLWYDD a wna i an- § Neu, *ofidio.*
ialwch Cades grynu.
9 Llef yr ARGLWYDD a wna [d] i'r ewigod [d] Job 39. 1, 2, 3.
lydnu, ac a ddynoetha'r coedydd: ac yn ei
deml ‖ pawb a draetha *ei* ogoniant *ef.* ‖ Neu, *y cwbl o honi.*
10 Yr ARGLWYDD sydd yn eistedd ar y
llifeiriant; ïe, [e] yr ARGLWYDD a eistedd yn [e] Psal. 10. 16.
Frenhin yn dragywydd.
11 Yr ARGLWYDD a ddyry nerth i'w
bobl: yr ARGLWYDD a fendithia ei bobl â
thangnefedd.

## PSALM XXX. { *Boreol Weddi.*

1 *Dafydd yn moli Duw am ei ymwared; 4 yn annog eraill i'w glodfori, wrth weled fel yr oedd Duw yn gwneuthur ag ef.*

¶ Psalm *neu* Gân o [a] gyssegriad tŷ Ddafydd. 1042.
MAWRYGAF di, O ARGLWYDD: canys [a] Deut. 20. 5.
dyrchefaist fi, ac ni lawenheaist fy
ngelynion o'm plegid.
2 ARGLWYDD fy NUW, llefais arnat, a
thithau a'm hiacheaist.
3 ARGLWYDD, [b] dyrchefaist fy enaid o'r [b] 1 Chron. 16. 4.
bedd: cedwaist fi yn fyw, rhag disgyn o Psal. 86. 13.
honof i'r pwll.
4 [c] Cenwch i'r ARGLWYDD, ei saint ef; [c] Psal. 97. 12.
a chlodforwch wrth goffadwriaeth ei sanct-
eiddrwydd ef.
5 Canys [d] ennyd fechan *y bydd* yn ei lid; [d] Psal. 103. 9.
yn ei foddlonrwydd *y mae* bywyd: † dros Esay 26. 20.
bryd nawn yr erys wylofain, ac erbyn y a 54. 7, 8.
bore *y bydd* ‡ gorfoledd. 2 Cor. 4. 17.
6 [e] Ac mi a ddywedais yn fy llwyddiant, † Heb. *yr hwyr.*
Ni'm syflir yn dragywydd.
7 O'th ddaioni, ARGLWYDD, y gosod- ‡ Heb. *cân.*
aist gryfder yn fy mynydd: [f] cuddiaist dy [e] Job 29. 18.
wyneb, *a* bûm helbulus.
8 Arnat ti, ARGLWYDD, y llefais, ac â'r [f] Psal. 104. 29.
ARGLWYDD yr ymbiliais.
9 Pa fudd *sydd* yn fy ngwaed, pan ddis- [g] Psal. 6. 5.
gynwyf i'r ffos? [g] a glodfora'r llwch di? a a 88. 11. a
fynega efe dy wirionedd? 115. 17.
10 Clyw, ARGLWYDD, a thrugarhâ wrth- [h] 2 Sam. 6. 14.
yf: ARGLWYDD, bydd gynnorthwywr i mi. Esay 61. 3.
11 [h] Troaist fy ngalar yn llawenydd i mi: § Hynny
dïosgaist fy sachwisg, a gwregysaist fi â yw, fy *nhafod*,
llawenydd; neu, fy *enaid*,
12 Fel y cano § *fy* ngogoniant i ti, ac na Psal. 16. 9.
thawo. O ARGLWYDD fy NUW, yn dra- a 57. 8.
gywyddol y'th foliannaf. Edrych Gen. 49. 6.

## PSALM XXXI.

1 *Dafydd yn dangos ei ymddiried yn Nuw, ac yn gofyn ei help ef; 7 yn ymlawenychu yn ei drugaredd ef; 9 yn gweddio yn ei adfyd, 19 ac yn moliannu Duw am ei ddaioni.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

YNOT [a] ti, ARGLWYDD, yr ymddiried- [a] Psal. 22.
ais: na'm gwaradwydder yn dragy- 5. a 25. 2. a 71. 1.
wydd: [b] gwared fi yn dy gyfiawnder. Esay 49. 23.
2 Gogwydda dy glust attaf; gwared fi ar [b] Psal. 143.
frys: bydd i mi yn graig † gadarn, yn dŷ 1.
ymddiffyn i'm cadw. † Heb.
3 Canys fy nghraig a'm castell *ydwyt*: *cadernid.*
gan hynny [c] er mwyn dy enw tywys fi, ac [c] Psal. 23.
arwain fi. 3. a 25. 11.
4 Tyn fi allan o'r rhwyd a guddiasant i
mi: canys ti *yw* fy nerth.
5 [d] I'th law y gorchymynaf fy yspryd: [d] Luc 23.
gwaredaist fi, O ARGLWYDD DDUW y 46.
gwirionedd. Act. 7. 59.
6 Caseais y rhai [e] sy'n dal ar ofer-wagedd; [e] Ioan 2. 8.
minnau a obeithiaf yn yr ARGLWYDD.

7 Ymlawenhâf ac ymhyfrydaf yn dy drugaredd: canys gwelaist fy adfyd; adnabuost fy enaid mewn cyfyngderau;

8 Ac ni warchaeaist fi yn llaw y gelyn; *ond* [f] gosodaist fy nhraed mewn ehangder.

9 Trugarhâ wrthyf, ARGLWYDD; canys cyfyng *yw* arnaf: [g] dadwinodd fy llygad gan ofid, *ie*, fy enaid a'm bol.

10 Canys fy mywyd a ballodd gan ofid, a'm blynyddoedd gan ochain: fy nerth a ballodd o herwydd fy anwiredd, [h] a'm hesgyrn a bydrasant.

11 [i] Yn warthrudd yr ydwyf ym mysg fy holl elynion, a *hynny* [k] yn ddirfawr ym mysg fy nghymmydogion; ac yn ddychryn i'r rhai a'm hadwaenant. y rhai a'm gwelent allan, a gilient oddi wrthyf.

12 [l] Anghofiwyd fi fel un marw allan o feddwl: yr ydwyf fel llestr methedig.

13 [m] Canys clywais ogan llaweroedd; [n] dychryn *oedd* o bob parth: pan gydymgynghorasant yn fy erbyn, y bwriadasant fy nïeneidio.

14 Ond mi a obeithiais ynot ti, ARGLWYDD: dywedais, Fy NUW *ydwyt*.

15 Yn dy law di *y mae* fy amserau: gwared fi o law fy ngelynion, ac oddi wrth fy erlidwŷr.

16 [o] Llewyrcha dy wyneb ar dy was: achub fi er mwyn dy drugaredd.

17 ARGLWYDD, [p] na waradwydder fi; canys gelwais arnat: gwaradwydder yr annuwiolion, [q] torrer hwynt i'r bedd.

18 [r] Gosteger y gwefusàu celwyddog, y rhai [s] a ddywedant yn galed, trwy falchder a dïystyrwch, yn erbyn y cyfiawn.

19 [t] Mor fawr *yw* dy ddaioni a roddaist i gadw i'r sawl a'th ofnant; *ac* a wnaethost i'r rhai a ymddiriedant ynot, ger bron meibion dynion!

20 [u] Cuddi hwynt yn nirgelfa dy wyneb rhag balchder dynion: [x] cuddi hwynt mewn pabell rhag cynnen tafodau.

21 Bendigedig *fyddo*'r ARGLWYDD: canys [y] dangosodd yn rhyfedd ei garedigrwydd i mi mewn dinas † gadarn.

22 Canys [z] mi a ddywedais yn fy ffrwst, [a] Fe'm bwriwyd allan o'th olwg: er hynny ti a wrandewaist lais fy ngweddïau pan lefais arnat.

23 [b] Cerwch yr ARGLWYDD, ei holl saint ef: yr ARGLWYDD a geidw'r ffyddloniaid, ac a dâl yn ehelaeth i'r neb a wna falchder.

24 [c] Ymwrolwch, ac efe a gryfhâ eich calon, chwychwi oll y rhai ydych yn gobeithio yn yr ARGLWYDD.

[f] Psal. 4. 1. a 18. 19. [g] Psal. 6. 7. [h] Psal. 32. 3. a 102. 3. [i] Psal. 41. 8. Esay 53. 4. [k] Job 19. 13. Psal. 38. 11. a 88. 8, 18. [l] Psal. 88. 4, 5. [m] Jer. 20. 10. [n] Jer. 6. 25. a 20. 3. Galar. 2. 22. [o] Psal. 4. 6. a 67. 1. Num. 6. 25, 26. [p] Psal. 25. 2. [q] 1 Sam. 2. 9. [r] Psal. 12. 3. [s] 1 Sam. 2. 3. Psal. 94. 4. Judas 15. [t] Esay 64. 4. 1 Cor. 2. 9. [u] Psal. 27. 5. a 32. 7. [x] Job 5. 21. [y] Psal. 17. 7. † Neu, *gaerog*. [z] 1 Sam. 23. 26. Psal. 116. 11. [a] Esay 38. 11, 12. Galar. 3. 54. Jonah 2. 4. [b] Psal. 34. 9. [c] Psal. 27. 14.

## PSALM XXXII. *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Ym maddeuant pechodau y mae dedwyddwch yn sefyll.* 3 *Bod cyfaddef pechodau yn esmwythàu ar y gydwybod.* 8 *Addewidion Duw yn dwyn llawenydd.*

¶ *Psalm* Dafydd * er athrawiaeth.

GWYN *ei* fyd *y neb* [a] y maddeuwyd *ei* drosedd, ac y cuddiwyd *ei* bechod.

2 Gwyn *ei* fyd y dyn ni chyfrif yr ARGLWYDD iddo anwiredd, ac [b] ni *bo* dichell yn ei yspryd.

3 Tra y tewais, heneiddiodd fy esgyrn, gan fy rhuad ar hŷd y dydd.

4 Canys trymhaodd dy law arnaf ddydd a nos: fy irder a drowyd yn sychder haf. Selah.

5 Addefais fy mhechod wrthyt, a'm hanwiredd ni chuddiais: [c] dywedais, Cyffesaf yn fy erbyn fy hun fy anwireddau i'r ARGLWYDD; a thi a faddeuaist anwiredd fy mhechod. Selah.

6 Am hyn [d] y gweddïa pob duwiol arnat ti yn † yr amser y'th geffir: yn ddïau yn llifeiriant dyfroedd mawrion, ni chânt nesàu atto ef.

7 [e] Ti *ydwyt* loches i mi; cedwi fi rhag ing: amgylchyni fi â chaniadau ymwared. Selah.

8 Cyfarwyddaf di, a dysgaf di yn y ffordd yr elych: â'm llygad arnat *y'th* gynghoraf.

9 [f] Na fyddwch fel march, *neu* ful, heb ddeall: yr hwn y mae rhaid attal ei ên â genfa, ac â ffrwyn, rhag ei ddynesâu attat.

10 [g] Gofidiau lawer ‡ *fydd* i'r annuwiol: ond y neb a ymddiriedo yn yr ARGLWYDD, trugaredd a'i cylchyna ef.

11 Y rhai cyfiawn, [h] byddwch lawen a hyfryd yn yr ARGLWYDD: a'r rhai uniawn o galon oll, cenwch yn llafar.

* Heb. *Maschil.* [a] Psal. 85. 2. Rhuf. 4. 6, 7, 8. [b] Ioan 1. 47. [c] Diar. 28. 13. Esay 65. 24. 1 Ioan 1. 9. [d] Esay 55. 6. Ioan 7. 34. † Heb. *amser cafael.* [e] Psal. 9. 9. a 27. 5. a 31. 20. a 119. 114. [f] Diar. 26. 3. Iago 3. 3. [g] Diar. 13. 21. ‡ sydd. [h] Psal. 64. 10. a 68. 3.

## PSALM XXXIII.

1 *Bod yn rhaid moliannu Duw, am ei ddaioni,* 6 *am ei allu,* 12 *am ei ragluniaeth.* 20 *Ar Dduw y mae hyderu.*

YMLAWENHÊWCH, y rhai cyfiawn, [a] yn yr ARGLWYDD: i'r rhai uniawn gweddus yw [b] mawl.

2 Molwch yr ARGLWYDD â'r delyn: cenwch iddo â'r nabl, *ac â'r* degtant.

3 [c] Cenwch iddo ganiad newydd: cenwch yn gerddgar, yn soniarus.

4 Canys uniawn *yw* gair yr ARGLWYDD; a'i holl weithredoedd *a wnaed* mewn ffyddlondeb.

5 [d] Efe a gâr gyfiawnder a barn: [e] o drugaredd yr ARGLWYDD y mae'r ddaear yn gyflawn.

6 [f] Trwy air yr ARGLWYDD y gwnaethpwyd y nefoedd; a'u [g] holl luoedd hwy [h] trwy yspryd ei enau ef.

7 [i] Casglu y mae efe ddyfroedd y môr ynghŷd megis pentwr: y mae yn rhoddi y dyfnderoedd mewn trysorau.

8 Ofned yr holl ddaear yr ARGLWYDD: holl drigolion y byd arswydant ef.

9 Canys [k] efe a ddywedodd, ac *felly* y bu: efe a orchymynodd, a hynny a safodd.

10 [l] Yr ARGLWYDD sydd yn diddymmu cynghor y cenhedloedd: y mae efe yn diddymmu amcanion pobloedd.

11 [m] Cynghor yr ARGLWYDD a saif yn dragywydd; meddyliau ei galon o genhedlaeth i genhedlaeth.

12 [n] Gwŷn ei byd y genedl *y mae* yr ARGLWYDD yn DDUW iddi; *a*'r bobl a ddetholodd efe yn etifeddiaeth iddo ei hun.

13 [o] Yr ARGLWYDD sy'n edrych i lawr o'r nefoedd: *y mae* yn gweled holl feibion dynion.

14 O breswyl ei drigfa yr edrych efe ar holl drigolion y ddaear.

15 Efe a gyd-luniodd eu calon hwynt: efe a ddeall eu holl weithredoedd.

16 [p] Ni waredir brenhin gan lïaws llu: ni ddïangc cadarn trwy ei fawr gryfder.

17 [q] Peth ofer *yw* march i ymwared: ac nid achub efe *neb* trwy ei fawr gryfder.

18 [r] Wele, *y mae* llygad yr ARGLWYDD [s] ar y rhai a'i hofnant ef, *sef* ar y rhai a obeithiant yn ei drugaredd ef;

19 I waredu eu henaid rhag angau, ac [t] i'w cadw yn fyw yn *amser* newyn.

20 [u] Ein henaid sydd yn disgwyl am yr ARGLWYDD: [x] efe *yw* ein porth a'n tarian.

21 Canys ynddo ef y llawenycha ein ca-

[a] Psal. 97. 12. [b] Psal. 147. 1. [c] Psal. 96. 5. a 98. 1. a 114. 19. Esay 42. 10. Dat. 5. 9. [d] Psal. 45. 7. [e] Psal. 119. 64. [f] Gen. 1. 6, 7. Heb. 11. 3. 2 Petr 3. 5. [g] Gen. 2. 1. [h] Job 26. 13. [i] Gen. 1. 9. Job 26. 10. a 38. 8. [k] Gen. 1. 3. Psal. 148. 5. [l] Esay 19. 3. [m] Job 23. 13. Diar. 19. 21. Esay 46. 10. [n] Psal. 65. 4. a 144. 15. [o] 2 Chron. 16. 9. Job 28. 24. Psal. 11. 4. a 14. 2. [p] Psal. 44. 6. [q] Psal. 147. 10. Diar. 21. 31. [r] Job 36. 7. Psal. 34. 15. 1 Petr 3. 12. [s] Psal. 147. 11. [t] Job 5. 20. Psal. 37. 19. [u] Psal. 62. 1, 5. a 130. 6. [x] Psal. 115. 9, 10, 11.

lon, o herwydd i ni obeithio yn ei enw sanctaidd ef.

22 Bydded dy drugaredd, ARGLWYDD, arnom ni, megis yr ydym yn ymddiried ynot.

## PSALM XXXIV.

1 *Dafydd yn clodfori Duw, ac yn annog eraill i wneuthur hynny, wrth a brofasai efe.* 8 *Dedwydd yw y rhai sy'n ymddiried yn Nuw.* 11 *Cyngor i ofni Duw.* 15 *Rhagorfraint y cyfiawn.*

¶ *Psalm* Dafydd, pan newidiodd efe ei wedd o flaen * Abimelech; yr hwn a'i gyrrodd ef ymaith, ac efe a ymadawodd.

BENDITHIAF [a] yr ARGLWYDD bob amser: ei foliant *fydd* yn fy ngenau yn wastad.

2 Yn yr ARGLWYDD y gorfoledda fy enaid: [b] y rhai gostyngedig a glywant *hyn*, ac a lawenychant.

3 Mawrygwch yr ARGLWYDD gyd â mi; a chyd-ddyrchafwn ei enw ef.

4 Ceisiais yr ARGLWYDD, ac efe a'm gwrandawodd, gwaredodd fi hefyd o'm holl ofn.

5 Edrychasant arno, a hwy a oleuwyd; a'u hwynebau ni chywilyddiwyd.

6 Y tlawd hwn a lefodd, a'r ARGLWYDD a'*i* clybu, ac a'i gwaredodd o'i holl drallodau.

7 Angel yr ARGLWYDD [c] a gastella o amgylch y rhai a'i hofnant ef, ac a'u gwared hwynt.

8 [d] Profwch, a gwelwch mor dda *yw*'r ARGLWYDD: [e] gwŷn *ei* fyd y gwr a ymddiriedo ynddo.

9 [f] Ofnwch yr ARGLWYDD, ei saint ef: canys nid *oes* eisiau ar y rhai a'i hofnant ef.

10 [g] Y mae eisiau a newyn ar y llewod ieuaingc: ond y sawl a geisiant yr ARGLWYDD, ni bydd arnynt eisiau dim daioni.

11 Deuwch, blant, gwrandêwch arnaf: dysgaf i chwi ofn yr ARGLWYDD.

12 [h] Pwy *yw*'r gwr a chwennych fywyd, *ac* a gâr *hir* ddyddiau, i weled daioni?

13 Cadw dy dafod rhag drwg, a'th wefusau rhag traethu twyll.

14 [i] Cilia oddi wrth ddrwg, a gwna dda; [k] ymgais â thangnefedd, a dilyn hi.

15 [l] Llygaid yr ARGLWYDD *sydd* ar y cyfiawn: a'i glustiau *sydd yn agored* i'w llefain hwynt.

16 [m] Wyneb yr ARGLWYDD *sydd* yn erbyn y rhai a wna ddrwg, i dorri eu coffa oddi ar y ddaear.

17 *Y rhai cyfiawn* a lefant; a'r ARGLWYDD a glyw, ac a'u gwared o'u holl drallodau.

18 [n] Agos *yw*'r ARGLWYDD at y rhai drylliedig o galon; ac efe a geidw y rhai briwedig o yspryd.

19 [o] Aml ddrygau *a gaiff* y cyfiawn: ond yr ARGLWYDD a'i gwared ef oddi wrthynt oll.

20 Efe a geidw ei holl esgyrn ef: [p] ni thorrir un o honynt.

21 [q] Drygioni a ladd yr annuwiol: a'r rhai a gasânt y cyfiawn, a † anrheithir.

22 Yr ARGLWYDD a wared eneidiau ei weision: a'r rhai oll a ymddiriedant ynddo ef, nid anrheithir hwynt.

* Achis. 1 Sam. 21. 13.
Cylch 1062.
a Eph. 5. 20. 1 Thes. 5. 18. 2 Thes. 1. 3. a 2. 13.
b Psal. 119. 74. a 142. 7.
c Zech. 9. 8. Edrych Gen. 32. 1, 2. 2 Bren. 6. 17.
d 1 Petr 2. 3.
e Psal. 2. 12.
f Psal. 31. 23.
g Job 4. 10, 11.
h 1 Petr 3. 10.
i Psal. 37. 27. Esay 1. 16, 17.
k Heb. 12. 14.
l Job 36. 7. Psal. 33. 18. 1 Petr 3. 12.
m Lef. 17. 10. Jer. 44. 11. Amos 9. 4.
n Psal. 51. 17. Esay 57. 15. a 61. 1. a 66. 2.
o 2 Tim. 3. 11, 12.
p Ioan 19. 36.
q Psal. 94. 23.
† Neu, *fyddant euog.*

## PSALM XXXV. { *Boreol Weddi.*

1 *Dafydd yn gweddïo am ddiogelwch iddo ei hun, a gwarth i'w elynion:* 11 *yn achwyn rhag y cam a wnaent ag ef.* 22 *Ac wrth hynny, yn annog Duw yn eu herbyn hwy.*

¶ *Psalm* Dafydd.

DADLEU [a] *fy nadl*, ARGLWYDD, yn erbyn y rhai a ddadleuant i'm herbyn: ymladd â'r rhai a ymladdant â mi.

2 Ymafael yn y darian a'r astalch, a chyfod i'm cymmorth.

3 Dwg allan y waywffon, ac argaea yn erbyn fy erlidwŷr: dywed wrth fy enaid, Myfi *yw* dy iachawdwriaeth.

4 [b] Cywilydder a gwaradwydder y rhai a geisiant fy enaid: ymchweler yn *eu* hol a gwarthaer y sawl a fwriadant fy nrygu.

5 [c] Byddant fel us o flaen y gwynt: ac angel yr ARGLWYDD yn *eu* herlid.

6 Bydded eu ffordd [d] yn dywyllwch ac yn llithrigfa: ac angel yr ARGLWYDD yn eu hymlid.

7 Canys heb achos y cuddiasant eu rhwyd i mi *mewn* pydew, *yr hwn* heb achos a gloddiasant i'm henaid.

8 Deued arno ddistryw ni wypo: [e] a'i rwyd yr hon a guddiodd, a'i dalio: syrthied yn y distryw hwnnw.

9 A llawenycha fy enaid i yn yr ARGLWYDD: *efe* a ymhyfryda yn ei iachawdwriaeth ef.

10 [f] Fy holl esgyrn a ddywedant, O ARGLWYDD, pwy *sydd* fel tydi, yn gwaredu'r tlawd rhag yr hwn a fyddo trech nag ef; y truan hefyd a'r tlawd, rhag y neb a'i hyspeilio?

11 Tystion gau a gyfodasant: holasant i mi yr hyn ni's gwn oddi wrtho.

12 [g] Talasant i mi ddrwg dros dda, i † yspeilio fy enaid.

13 A minnau, [h] pan glafychent hwy, *oeddwn* a'm gwisg o sachlen: ‡ gostyngais fy enaid ag ympryd, a'm [i] gweddi a ddychwelodd i'm mynwes fy hun.

14 § Ymddygais fel *pe buasai*'n gyfaill, *neu* yn frawd i mi: ymostyngais mewn galarwisg, fel un yn galaru *am ei* fam.

15 Ond ymlawenhasant hwy yn fy || adfyd i, ac ymgasglasant: [k] ïe, ymgasglodd efryddion yn fy erbyn, ac ni's gwyddwn; rhwygasant *fi*, ac ni pheidient.

16 Ym mysg y gwatwarwŷr rhagrithiol mewn gwleddoedd, [l] ysgyrnygasant eu dannedd arnaf.

17 Arglwydd, [m] pa hŷd yr edrychi di *ar hyn?* gwared fy enaid rhag eu distryw hwynt, [n] fy unig *enaid* rhag y llewod.

18 [o] Mi a'th glodforaf yn y gynnulleidfa fawr: moliannaf di ym mhlith pobl † lawer.

19 Na lawenychant o'm herwydd y rhai sydd elynion i mi ‡ heb achos: y sawl [p] a'm casânt yn ddiachos, *nac* [q] amneidiant â llygad.

20 Gan nad ymddiddanant yn dangnefeddus; eithr dychymygant eiriau dichellgar yn erbyn *y rhai* llonydd yn y tir.

21 Lledasant eu safn arnaf, gan ddywedyd, [r] Ha, ha, gwelodd ein llygad.

22 Gwelaist *hyn*, ARGLWYDD: [s] na thaw dithau; nac ymbellhâ oddi wrthyf, O ARGLWYDD.

23 [t] Cyfod, a deffro i'm barn, *sef* i'm dadl, fy Nuw a'm Harglwydd.

24 Barn fi, ARGLWYDD fy Nuw, yn ol dy gyfiawnder; ac na lawenhânt o'm plegid.

a Psal. 43. 1. a 119. 154. Galar. 3. 58.
b Adn. 26. Psal. 40. 14, 15. a 70. 3.
c Job 21. 18. Psal. 1. 4. Esay 29. 5. Hos. 13. 3.
d Psal. 73. 18. Jer. 23. 12.
e Psal. 7. 15, 16. a 57. 6. a 141. 9. Diar. 5. 22.
f Edrych Psal. 51. 8.
g Psal. 38. 20. a 109. 3, 5.
† Heb. *ddifuddio.*
h Job 30. 25. Psal. 69. 10, 11.
‡ Neu, *cystuddiais.*
i Mat. 10. 13. Luc 10. 6.
§ Heb. *Rhodiais.*
|| Heb. *nghloffni,* Psal. 38. 17.
k Job 30. 1, 8, 12.
l Psal. 37. 12.
m Hab. 1. 13.
n Psal. 22. 20.
o Psal. 22. 25, 31. a 40. 9, 10. a 111. 1.
† Heb. *gedyrn.*
‡ Heb. *ar gam.*
p Psal. 69. 4. a 109. 3. a 119. 161. Galar. 3. 52. Ioan 15. 25.
q Diar. 6. 13. a 10. 10.
r Psal. 40. 15. a 54. 7. a 70. 3.
s Psal. 83. 1.
t Psal. 44. 23.

25 Na ddywedant yn eu calon, O ein
† Heb. *enaid.* † gwynfyd: na ddywedant, Llyngcasom ef.
26 [u] Cywilyddier a gwaradwydder hwy i
[u] Adn. 4. Psal. 10. 14. gyd, y rhai sy lawen am fy nrygfyd: [x] gwis-
[x] Psal. 109. 29. a 132. 18. ger â gwarth ac â chywilydd y rhai a ym-
fawrygant i'm herbyn.
27 Caned a llawenyched y rhai a hoffant
fy nghyfiawnder: dywedant hefyd yn was-
[y] Psal. 149. 4. tad, Mawryger yr ARGLWYDD, [y] yr hwn a
gâr lwyddiant ei was.
28 Fy nhafod innau a lefara am dy gyf-
iawnder *a'*th foliant ar hŷd y dydd.

## PSALM XXXVI.

1 *Blin gyflwr yr annuwiol.* 5 *Godidowgrwydd trugaredd Duw.* 10 *Dafydd yn gweddïo am ffafr i blant Duw.*

¶ I'r Pencerdd, *Psalm* Dafydd gwas yr ARGLWYDD.

Y Mae anwiredd yr annuwiol yn dywed-
[a] Rhuf. 3. 18. yd o fewn fy nghalon, [a] nad *oes* ofn
Duw o flaen ei lygaid ef.
[b] Deut. 29. 19. 2 O herwydd [b] ymwenhieithio y mae
Psal. 10. 3. efe iddo ei hun yn ei olwg ei hunan, † nes
a 49. 18. cael ei anwiredd ‡ yn atcas.
† Heb. *i gael.* 3 Geiriau ei enau *ydynt* anwiredd a
thwyll: peidiodd â bod yn gall i wneuthur
‡ Heb. *i'w gasâu.* daioni.
4 § [c] Anwiredd a ddychymmyg efe
§ Neu, *Gwagedd.* ar ei wely: efe a'i gesyd ei hun ar ffordd
nid *yw* dda; nid ffiaidd gantho ddryg-
[c] Diar. 4. 16. ioni.
Michah 2. 1. 5 [d] Dy drugaredd, ARGLWYDD, *sydd*
[d] Psal. 57. 10. a 108. 4. hyd y nefoedd, *a'*th wirionedd hyd y cym-
mylau.
6 Fel mynyddoedd ‖ cedyrn *y mae* dy
‖ Heb. *Duw.* gyfiawnder; [e] dyfnder mawr *yw* dy farn-
[e] Job 11. 8. edigaethau: [f] dyn ac anifail a gedwi di,
Rhuf. 11. 33. ARGLWYDD.
7 Mor werthfawr *yw* dy drugaredd, O
[f] Job 7. 20. DDUW! am hynny'r ymddiried meibion
1 Tim. 4. 10. dynion [g] dan gysgod dy adenydd.
[g] Ruth 2. 12. 8 † [h] Llawn-ddigonir hwynt â brasder
dy dŷ; ac [i] ag afon dy hyfrydwch y dïodi
Psal. 17. 8. hwynt.
† Heb. *Meddwir,* neu, *Mwydir.* 9 Canys gyd â thi *y mae* ffynnon y by-
wyd: yn dy oleuni di y gwelwn oleuni.
10 Estyn dy drugaredd i'r rhai a'th ad-
[h] Psal. 65. 4. waenant, a'th gyfiawnder i'r rhai uniawn o
galon.
[i] Job 20. 17. 11 Na ddeued troed balchder i'm her-
Dat. 22. 1. byn: na syfled llaw yr annuwiol fi.
12 Yno y syrthiodd gweithwŷr anwir-
edd: gwthiwyd hwynt i lawr, ac ni allant
gyfodi.

## PSALM XXXVII. } { *Prydnhawnol Weddi.*

*Dafydd yn annog i amynedd, ac i hyderu ar Dduw, o herwydd y rhagor sydd rhwng cyflwr y duwiol a'r annuwiol.*

¶ *Psalm* Dafydd.

[a] Psal. 73. 3. NAC [a] ymddigia o herwydd y rhai dry-
Diar. 23. 17. a 24. 1, 19. gionus, ac na chynfigenna wrth y rhai
a wnant anwiredd.
2 Canys yn ebrwydd y torrir hwynt i'r
llawr fel glaswellt, ac y gwywant fel
gwŷrdd-lysiau.
3 Gobeithia yn yr ARGLWYDD, a gwna
dda; *felly* y trigi yn y tir, a thi a borthir yn
[b] Psal. 55. 22. ddïau.
4 Ymddigrifa hefyd yn yr ARGLWYDD;
Diar. 16. 3. ac efe a ddyry i ti ddymuniadau dy ga-
Mat. 6. 25. Luc 12. 22. lon.
1 Petr 5. 7. 5 [b] Treigla dy ffordd at yr AR-
GLWYDD, ac ymddiried ynddo; ac efe a'i
dwg i ben.
6 Efe a ddwg allan dy gyfiawnder fel y
goleuni, a'th farn [c] fel hanner dydd. [c] Job 11. 17.
7 Distawa yn yr ARGLWYDD, a disgwyl
wrtho: nac ymddigia o herwydd yr hwn
a lwyddo ganddo ei ffordd, wrth y gwr
sydd yn gwneuthur *ei* ddrwg amcanion.
8 Paid â digofaint, a gâd ymaith gyn-
ddaredd: [d] nac ymddigia er dim i wneu- [d] Psal. 73. 2.
thur drwg. Eph. 4. 26.
9 Canys torrir ymaith y drwg ddyn-
ion: ond y rhai a ddisgwyliant wrth yr
ARGLWYDD, hwynt-hwy a etifeddant y
tir.
10 Canys etto ychydigyn, ac ni *welir* yr
annuwiol: a [e] thi a edrychi am ei le ef, ac [e] Job 7. 10
ni *bydd dim* o hono. a 20. 9.
11 [f] Eithr y rhai gostyngedig a etifedd- [f] Mat. 5. 5.
ant y ddaear; ac a ymhyfrydant gan lïaws
tangnefedd.
12 Yr annuwiol a amcana yn erbyn y
cyfiawn, ac [g] a ysgyrnyga ei ddannedd [g] Psal. 35. 16.
arno.
13 [h] Yr ARGLWYDD a chwardd am [h] Psal. 2. 4.
ei ben ef: canys gwel fod ei ddydd ar
ddyfod.
14 Yr annuwiolion a dynnasant eu cledd-
yf, ac a annelasant eu bwa, i fwrw i lawr
y tlawd a'r anghenog, *ac* i ladd y rhai uni-
awn *eu* ffordd.
15 [i] Eu cleddyf a â yn eu calon eu hun- [i] Michah 5.
ain, a'u bwaau a ddryllir. 6.
16 Gwell *yw*'r ychydig sydd gan y cyf-
iawn nâ mawr olud annuwiolion lawer.
17 Canys [k] breichiau'r annuwiolion a [k] Job 38.
dorrir: ond yr ARGLWYDD a gynnal y rhai 15.
cyfiawn. Psal. 10. 15. Ezec. 30.
18 Yr ARGLWYDD a edwyn ddyddiau 21, &c.
y rhai perffaith: a'u hetifeddiaeth hwy fydd
yn dragywydd.
19 Ni's gwaradwyddir hwy yn amser
drygfyd: ac [l] yn amser newyn y cânt [l] Job 5. 20.
ddigon. Psal. 33. 19.
20 Eithr collir yr annuwiolion, a gelyn-
ion yr ARGLWYDD fel † brasder † Heb.
ŵyn a ddiflannant: yn fŵg y diflannant *gwerthfawrogrwydd.*
hwy.
21 Yr annuwiol a echwyna, ac ni thâl
adref: ond y [m] cyfiawn sydd drugarog, ac [m] Psal. 112.
yn rhoddi. 5, 9.
22 Canys *y rhai* a fendigo efe, a etifedd-
ant y tir; a'*r rhai* a felldithio efe, a dorrir
ymaith.
23 Yr ARGLWYDD a ‡ fforddia ger- ‡ Neu,
ddediad gwr *da*: a da fydd ganddo ei *sicrhâ.*
ffordd ef.
24 [n] Er iddo gwympo, ni lwyr-fwrir ef i [n] Psal. 34.
lawr: canys yr ARGLWYDD sydd yn *ei* gyn- 19, 20. a
nal *ef* â'i law. 91. 12.
Diar. 24.
25 Mi a fum ieuangc, ac yr ydwyf yn 16.
hen; etto ni welais y cyfiawn wedi ei adu, 2 Cor. 4. 9.
na'i had [o] yn cardotta bara. [o] Job 15.
26 § [p] Bob amser *y mae efe* yn drugar- 23.
og, ac yn rhoddi benthyg; a'i had a fen- Psal. 59. 15. a 109. 10.
dithir. § Heb.
27 [q] Cilia di oddi wrth ddrwg, a gwna *Ar hŷd y*
dda; a chyfannedda yn dragywydd. *dydd,* neu, *Bob dydd.*
28 Canys yr ARGLWYDD a gâr farn, ac [p] Psal. 112.
ni edy ei saint; cedwir hwynt yn dra- 5, 9.
gywydd: ond [r] had yr annuwiol a dorrir [q] Psal. 34.
ymaith. 14.
29 [s] Y rhai cyfiawn a etifeddant y ddaear, [r] Psal. 21.
ac a breswyliant ynddi yn dragywydd. 10.
30 Genau y cyfiawn a fynega ddoethineb, [s] Diar. 2.
a'i dafod a draetha farn. 21.

[t] Deut. 6. 6. Psal. 40. 8. a 119. 98. Esay 51. 7.
31 [t] Deddf ei DDUW *sydd* yn ei galon ef;
a'i † gamrau ni lithrant.
32 Yr annuwiol a wylia ar y cyfiawn, ac
a gais ei ladd ef.
† Neu, gerddediaid.
33 Ni ad yr ARGLWYDD ef yn ei law ef,
ac ni ad ef yn euog pan ei barner.
34 Gobeithia yn yr ARGLWYDD, a chadw
ei ffordd ef, ac efe a'th ddyrchafa fel yr
[u] Psal. 91. 8.
etifeddech y tir: [u] pan ddifether yr annu-
wiolion, ti a'i gweli.
[x] Job 5. 3.
35 [x] Gwelais yr annuwiol yn gadarn, ac
‡ Neu, pren gwyrddlas yn tyfu o hono ei hun.
yn frigog fel ‡ y lawryf gwyrdd.
36 Er hynny efe a aeth ymaith, ac wele,
nid *oedd mwy* o hono: a mi a'i ceisiais, ac
nid oedd i'w gael.
37 Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr un-
iawn: canys diwedd y gwr *hwnnw fydd*
tangnefedd.
38 Ond y troseddwŷr a gyd-ddistrywir:
diwedd yr annuwiolion a dorrir ymaith.
39 A iachawdwriaeth y cyfiawn *sydd* oddi
wrth yr ARGLWYDD: *efe yw* eu nerth yn
amser trallod.
[y] Esay 31. 5.
40 [y] A'r ARGLWYDD a'u cymmorth hwynt,
ac a'u gwared: efe a'u gwared hwynt rhag
yr annuwiolion, ac a'u ceidw hwynt, am
iddynt ymddiried ynddo.

PSALM XXXVIII. { *Boreol Weddi.*

*Dafydd yn erfyn ar Dduw dosturio wrth ei dostur gyflwr ef.*

[a] Psal. 70. titl.
¶ Psalm Dafydd; [a] er coffa.

[b] Psal. 6. 1.
ARGLWYDD, [b] na cherydda fi yn dy
lid: ac na chospa fi yn dy ddigllonedd.
[c] Job 6. 4.
2 Canys [c] y mae dy saethau ynglŷn ynof,
a'th law yn drom arnaf.
3 Nid *oes* iechyd yn fy nghnawd, o her-
[d] Psal. 6. 2.
wydd dy ddigllonedd; [d] ac nid *oes* heddwch
i'm hesgyrn, oblegid fy mhechod.
[e] Ezra 9. 6. Psal. 40. 12.
4 Canys [e] fy nghamweddau a aethant
dros fy mhen: megis baich trwm y maent
yn rhŷ drwm i mi.
5 Fy nghleisiau a bydrasant, *ac* a lygras-
ant, gan fy ynfydrwydd.
6 Crymmwyd a darostyngwyd fi'n ddir-
[f] Job 30. 28. Psal. 35. 14. a 42. 9. a 43. 2.
fawr: [f] beunydd yr ydwyf yn myned yn
alarus.
7 Canys fy lwynau a lanwyd o ffieidd-
*glwyf*; ac nid *oes* iechyd yn fy nghnawd.
8 Gwanhawyd, a drylliwyd fi'n dra-
[g] Job 3. 24. Esay 59. 11.
mawr: [g] rhuais gan aflonyddwch fy ngha-
lon.
9 O'th flaen di, Arglwydd, *y mae* fy holl
ddymuniad; ac ni chuddiwyd fy uchenaid
oddi wrthyt.
10 Fy nghalon sydd yn llammu; fy nerth
[h] Psal. 6. 7. a 88. 9.
a'm gadawodd; a [h] llewyrch fy llygaid nid
*yw* chwaith gennyf.
[i] Psal. 31. 11.
11 [i] Fy ngharedigion a'm cyfeillion [k] a
[k] Luc 10. 31, 32.
safent oddi ar gyfer fy † mhla; a'm ‡ cyf-
neseifiaid a safent o hirbell.
† Heb. nyrnod.
12 Y rhai hefyd a geisient fy einioes, a
osodasant faglau; a'r rhai a geisient fy ni-
‡ Neu, cymmydogion.
weid, a draethent anwireddau, ac a ddychy-
mygent ddichellion ar hŷd y dydd.
[l] Edrych 2 Sam. 16. 10.
13 A [l] minnau fel byddar ni chlywn; ei-
thr [m] *oeddwn* fel mudan heb agoryd ei enau.
[m] Psal. 39. 2, 9.
14 Felly'r oeddwn fel gwr ni chlywai, ac
heb argyoeddion yn ei enau.
15 O herwydd im' obeithio ynot, AR-
GLWYDD; ti, ARGLWYDD fy NUW, a
§ Neu, atebi.
§ wrandewi.
16 Canys dywedais, *Gwrando fi*, rhag
llawenychu *o honynt* i'm herbyn: pan lith-
rai fy nhroed, ymfawrygent i'm herbyn.

17 Canys parod *wyf* i [n] gloffi, a'm dolur [n] Psal. 35. 15.
*sydd* ger fy mron yn wastad.
18 Dïau y mynegaf fy anwiredd, *ac* y
pryderaf o herwydd fy mhechod.
19 Ac *y mae* fy ngelynion yn fyw, *ac* yn
gedyrn: amlhawyd hefyd y rhai a'm casânt
ar gam.
20 A'r rhai [o] a dalant ddrwg dros dda, [o] Psal. 35. 12.
a'm gwrthwynebant; [p] am fy mod yn dilyn
daioni. [p] Edrych 1 Ioan 3. 12. a 1 Petr 3. 13.
21 Na ad fi, O ARGLWYDD: fy NUW,
nac ymbellhâ oddi wrthyf.
22 Brysia i'm cymmorth, O ARGLWYDD
fy iachawdwriaeth.

PSALM XXXIX.

1 *Gofal Dafydd am ei feddyliau: 4 ystyried byrred ac ofered oes dyn: 7 parch barnedigaethau Duw, 10 a gweddi, yn ffrwyno ei anniodde fgarwch ef.*

¶ Psalm Dafydd i'r Pencerdd, *sef* i [a] Je- [a] 1 Chron. 16. 41. a 25. 1. Psal. 62. a 77. titl.
duthun.

DYWEDAIS, Cadwaf fy ffyrdd, rhag pe-
chu â'm tafod: cadwaf ffrwyn yn fy
ngenau, tra fyddo'r annuwiol yn fy ngolwg.
2 Tewais yn ddistaw, *ie*, tewais â daioni;
a'm dolur a gyffrôdd.
3 Gwresogodd fy nghalon o'm mewn:
tra'r oeddwn yn myfyrio, ennynodd tân, *a*
mi a leferais â'm tafod.
4 ARGLWYDD, [b] par i mi wybod fy [b] Psal. 90. 12. a 119. 84.
niwedd, a pheth *yw* mesur fy nyddiau; *fel*
y gwypwyf † o ba oedran y *byddaf* fi.
5 Wele, gwnaethost fy nyddiau *fel* dyrn- † Neu, *mor freuol ydwyf.*
fedd; [c] a'm heinioes *sydd* megis diddym yn
dy olwg di: [d] dïau mai cwbl wagedd *yw* [c] Psal. 90. 4.
pob dyn, pan fo ‡ ar y goreu. Selah.
6 Dyn yn ddïau sydd yn rhodio mewn [d] Adn. 11. Psal. 62. 9. a 144. 4.
§ cysgod, ac yn ymdrafferthu yn ofer: [e] efe
a dyrra *olud*, ac ni's gŵyr pwy a'i casgl.
7 Ac yn awr beth a ddisgwyliaf, O AR- ‡ Heb. *wedi ymsefydlu.*
GLWYDD? fy ngobaith sydd ynot ti.
8 Gwared fi o'm holl gamweddau; *ac* na § Heb. *eilun.*
osod fi yn waradwydd i'r ynfyd.
9 [f] Aethum yn fud, *ac* nid agorais fy [e] Job 27. 17. Preg. 2. 18, 21, 26. a 5. 14.
ngenau: canys ti a wnaethost *hyn*.
10 [g] Tyn dy bla oddi wrthyf: gan
‖ ddyrnod dy law y darfûm i.
11 Pan gospit ddyn â cheryddon am an- [f] Job 40. 4, 5. Psal. 38. 13.
wiredd, † [h] dattodit fel gwyfyn ei ardder-
chowgrwydd ef: [i] gwagedd yn ddïau *yw* [g] Job 9. 34. a 13. 21.
pob dyn. Selah.
12 Gwrando fy ngweddi, ARGLWYDD, ‖ Heb. *ffrwydr.*
a chlyw fy llef; na thaw wrth fy wylofain:
canys [k] ymdeithydd *ydwyf* gyd â thi, *ac* † Heb. *toddit.*
alltud, [l] fel fy holl dadau.
13 [m] Paid â mi, fel y cryfhawyf cyn fy [h] Job 4. 19. a 13. 28.
myned, ac na byddwyf mwy.

Esay 50. 9. Hos. 5. 12. [i] Adn. 5. [k] Lef. 25. 23. 1 Chron. 29. 15. Psal. 119. 19. 2 Cor. 5. 6. Heb. 11. 13. 1 Petr 1. 17. a 2. 11. [l] Gen. 47. 9. [m] Job 10. 20, 21. a 14. 5, 6.

PSALM XL.

1 *Y lles sydd o hyderu ar Dduw. 6 Ufudd-dod yw yr aberth goreu. 11 Drygau Dafydd yn peri iddo weddïo yn daerach.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

DISGWYLIAIS † yn ddyfal am yr AR- † Heb. *gan ddisgwyl.*
GLWYDD; ac efe a ymostyngodd at-
taf, ac a glybu fy llefain.
2 Cyfododd fi hefyd o'r pydew ‡ erchyll, ‡ Heb. *twrf.*
allan o'r [a] pridd tomlyd; ac a osododd
fy nhraed ar graig, gan hwylio fy ngherdd- [a] Psal. 69. 2.
ediad.
3 A rhoddodd yn fy ngenau ganiad ne-
wydd o foliant i'n DUW ni: llawer a welant

*hyn*, ac a ofnant, ac a ymddiriedant yn yr ARGLWYDD.

4 Gwyn *ei* fyd y gwr a osodo'r ARGLWYDD yn ymddiried iddo; ac ni thry at feilchion, nac at y rhai a wyrant at gelwydd.

5 [b] Llïosog y gwnaethost ti, O ARGLWYDD fy NUW, dy ryfeddodau, a'th amcanion tu ag attom: ni ellir yn drefnus eu cyfrif hwynt i ti: pe mynegwn, *a phe* traethwn *hwynt*, amlach ydynt nag y gellir eu rhifo.

6 [c] Aberth ac offrwm nid ewyllysiaist; † agoraist fy nghlustiau: poeth-offrwm a phech-aberth ni's gofynaist.

7 Yna y dywedais, Wele'r ydwyf yn dyfod: ‡ yn rhol y llyfr y 'sgrifenwyd am danaf.

8 [d] Da gennyf wneuthur dy ewyllys, O fy NUW: [e] a'th gyfraith *sydd* § o fewn fy nghalon.

9 [f] Pregethais gyfiawnder yn y gynnulleidfa fawr: wele, nid atteliais fy ngwefusau; ti, ARGLWYDD, a'i gwyddost.

10 Ni chuddiais dy gyfiawnder o fewn fy nghalon; traethais dy ffyddlondeb, a'th iachawdwriaeth: ni chelais dy drugaredd na'th wirionedd yn y gynnulleidfa lïosog.

11 Tithau, ARGLWYDD, nac attal dy drugareddau oddi wrthyf: [g] cadwed dy drugaredd a'th wirionedd fi byth.

12 Canys drygau anifeiriol a'm cylchynasant o amgylch: [h] fy mhechodau a'm daliasant, fel na allwn edrych i fynu: amlach ydynt nâ gwallt fy mhen; am hynny || [i] y pallodd fy nghalon gennyf.

13 [k] Rhynged bodd it', ARGLWYDD, fy ngwaredu: brysia, ARGLWYDD, i'm cymmorth.

14 [l] Cyd-gywilyddier a gwaradwydder y rhai a geisiant fy einioes i'w difetha; gyrrer yn eu hol a chywilyddier y rhai a ewyllysiant i mi ddrwg.

15 Anrheithier hwynt yn wobr am eu gwaradwydd, y rhai a ddywedant wrthyf, Ha, ha.

16 Llawenyched ac ymhyfryded ynot ti y rhai oll a'th geisiant: dyweded y rhai a garant dy iachawdwriaeth bob amser, Mawryger yr ARGLWYDD.

17 Ond *yr wyf* fi yn dlawd ac yn anghenus; *etto* yr ARGLWYDD a feddwl am danaf: fy nghymmorth a'm gwaredydd *ydwyt* ti; fy NUW, na hir drig.

[b] Job 5. 9. a 9. 10. Psal. 71. 15. a 92. 5. a 139. 6, 17.
[c] 1 Sam. 15. 22. Psal. 50. 8. a 51. 16. Esay 1. 11. a 66. 3. Hos. 6. 6. Mat. 12. 7. Heb. 10. 5.
† Heb. *cloddiaist.*
‡ Neu, *ym mhlyg.*
[d] Psal. 119. 16, 24, 27, 92. Rhuf. 7. 22.
[e] Psal. 37. 31. Jer. 31. 33. 2 Chron. 3. 3.
§ Heb. *ynghanol fy amysgaroedd.*
[f] Psal. 35. 18.
[g] Psal. 43. 3. a 57. 3. a 61. 7.
[h] Psal. 38. 4.
|| Heb. *ym gwrthododd fy nghalon.*
[i] Psal. 73. 26.
[k] Psal. 70. 1, &c.
[l] Psal. 35. 4, 26. a 70. 3. a 71. 13.

PSALM XLI. { *Prydnhawnol Weddi.* }

1 *Gofal Duw dros y tlawd.* 4 *Dafydd yn cwyno rhag brad ei elynion;* 10 *yn cilio at Dduw am gymmorth.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

GWYN [a] *ei* fyd a ystyria wrth † y tlawd: yr ARGLWYDD a'i gwared ef yn ‡ amser adfyd.

2 Yr ARGLWYDD a'i ceidw, ac a'i bywhâ; gwynfydedig fydd ar y ddaear: na ddod dithau ef wrth ewyllys ei elynion.

3 Yr ARGLWYDD a'i nertha ef ar ei glaf wely: § cyweiri ei holl wely ef yn ei glefyd.

4 Mi a ddywedais, ARGLWYDD, trugarhâ wrthyf: iachâ fy enaid; canys pechais i'th erbyn.

5 Fy ngelynion a lefarant ddrwg am danaf, *gan ddywedyd*, Pa bryd y bydd efe farw, ac y derfydd am ei enw ef?

[a] Diar. 14. 21.
† Neu, *y llesg*, neu, *y claf.*
‡ Heb. *yn y dydd drwg.*
§ Heb. *troi.*

6 Ac os daw i'*m* hedrych, efe a ddywed gelwydd: ei galon a gasgl atti anwiredd: *pan* el allan, efe a'*i* traetha.

7 Fy holl gaseion a gyd-hustyngant i'm herbyn; yn fy erbyn y dychymygant ddrwg i mi.

8 || Aflwydd, *meddant*, a lŷn wrtho: a chan ei fod yn gorwedd, ni chyfyd mwy.

9 [b] Hefyd y gwr oedd † anwyl gennyf, yr hwn yr ymddiriedais iddo, [c] *ac* a fwytaodd fy mara, a ‡ ddyrchafodd *ei* sodl i'm herbyn.

10 Eithr ti, ARGLWYDD, trugarhâ wrthyf; a chyfod fi, fel y talwyf iddynt.

11 Wrth hyn y gwn hoffi o honot fi, am na chaiff fy ngelyn orfoleddu i'm herbyn.

12 Ond am danaf fi, yn fy mherffeithrwydd y'm cynheli, ac y'm gosodi ger dy fron yn dragywydd.

13 Bendigedig *fyddo* ARGLWYDD DDUW Israel, o dragywyddoldeb a hyd dragywyddoldeb. Amen, ac Amen.

|| Heb. *Peth i'r fall* neu, *Belial.*
[b] Job 19. 19. Psal. 55. 12, 13, 20. Jer. 20. 10.
† Heb. *heddwch i mi.*
[c] Ioan 13. 18.
‡ Heb. *fawrygodd.*

PSALM XLII.

1 *Zel Dafydd i weddïo Duw yn ei deml.* 5 *Y mae'n cynhyrfu ei enaid i roi ei oglud ar Dduw.*

¶ I'r Pencerdd, * Maschil, i feibion [a] Corah.

FEL y brefa'r hŷdd am yr afonydd dyfroedd, felly'r hiraetha fy enaid am danat ti, O DDUW. 1023.

2 [b] Sychedig yw fy enaid am DDUW, am [c] y DUW byw: pa bryd y deuaf ac yr ymddangosaf ger bron DUW?

3 [d] Fy nagrau oedd fwyd im' ddydd a nos, [e] tra dywedant wrthyf bob dydd, Pa le *y mae* dy DDUW?

4 [f] Tywalltwn fy enaid ynof, pan gofiwn hynny: canys aethwn gyd â'r gynnulleidfa, [g] cerddwn gyd â hwynt i dŷ DDUW, mewn sain càn a moliant, *fel* tyrfa yn cadw gwyl.

5 [h] Paham, fy enaid, † y'th ddarostyngir, ac yr ymderfysgi ynof? gobeithia yn NUW: oblegid moliannaf ef etto, ‡ *am* iachawdwriaeth ei wynebpryd.

6 Fy NUW, fy enaid a ymddarostwng ynof: am hynny y cofiaf di, o dir yr Iorddonen, a'r Hermoniaid § o fryn Misar.

7 [i] Dyfnder a eilw ar ddyfnder, wrth swn dy bistylloedd di: [k] dy holl donnau a'th lifeiriaint a aethant drosof fi.

8 *Etto* yr ARGLWYDD [l] a orchymyn ei drugaredd liw dydd, a'i gân *fydd* gyd â mi [m] liw nos; *sef* gweddi ar DDUW fy einioes.

9 Dywedaf wrth DDUW fy nghraig, Paham yr anghofiaist fi? paham [n] y rhodiaf yn alarus trwy orthrymder y gelyn?

10 *Megis* â || chleddyf yn fy esgyrn *y mae* fy ngwrthwynebwŷr yn fy ngwaradwyddo, [o] pan ddywedant wrthyf bob dydd, Pa le *y mae* dy DDUW?

11 Paham y'th ddarostyngir, fy enaid? a phaham y terfysgi ynof? ymddiried yn NUW: canys etto y moliannaf ef, *sef* iachawdwriaeth fy wyneb, a'm Duw.

* Neu, *Psalm yn rhoddi athrawiaeth meibion Corah.*
[a] Edrych 1 Chron. 6. 33, 37. a 25. 5.
[b] Psal. 63. 1. a 84. 2.
[c] 1 Thes. 1. 9.
[d] Psal. 80. 5. a 102. 9.
[e] Adn. 10. Psal. 79. 10. a 115. 2.
[f] Job 30. 16.
[g] Esay 30. 29.
[h] Psal. 43. 5.
† Heb. *yr ymgrymmi.*
‡ Neu *iachawdwriaeth yw ei wynebpryd.*
§ *o'r bryn bychan.*
[i] Jer. 4. 20. Ezec. 7. 26.
[k] Psal. 88. 7. Jonah 2. 3.
[l] Lef. 25. 21. Deut. 28. 8. Psal. 133. 3.
[m] Job 35. 10. Psal. 63. 6. a 149. 5. [n] Psal. 38. 6. || Neu, *Lladdiad.*
[o] Adn. 3. Joel 2. 17. Michah 7. 10.

PSALM XLIII.

1 *Dafydd yn gweddïo am gael ei ddwyn drachefn i'r deml; ac yn addaw gwasanaethu Duw yn llawen:* 5 *yn cynhyrfu ei enaid i ymddiried yn Nuw.*

BARN fi, O DDUW, a dadleu fy nadl yn erbyn y genhedlaeth anhrugarog: gwared fi rhag y dyn twyllodrus ac anghyfiawn. 1023.

2 Canys ti *yw* Duw fy nerth: paham y'm
[a] Psal. 42. 9. bwri ymaith? [a] paham yr af yn alarus trwy
orthrymder y gelyn?
[b] Psal. 40. 11. a 57. 3. 3 [b] Anfon dy oleuni a'th wirionedd: ty-
wysant hwy fi; *ac* arweiniant fi i fynydd dy
sancteiddrwydd, ac i'th bebyll.
4 Yna'r af at allor Duw, at Dduw hy-
frydwch fy ngorfoledd; a mi a'th foliannaf
ar y delyn, O Dduw, fy Nuw.
[c] Psal. 42. 5, 11. 5 [c] Paham y'th ddarostyngir, fy enaid? a
phaham y terfysgi ynof? gobeithia yn Nuw;
canys etto y moliannaf ef, *sef* iachawdwri-
aeth fy wyneb, a'm Duw.

## PSALM XLIV. { *Boreol Weddi.*

1 *Yr eglwys, wrth gofio daioni Duw tu ag atti*
*o'r blaen, 7 yn cwyno rhag ei drygfyd pre-*
*sennol; 17 yn dangos ei phurdeb, 24 ac*
*yn gweddïo yn ddifrif am gymmorth.*

¶ I'r Pencerdd, i feibion Corah, Maschil.

DUW, clywsom â'n clustiau, ein tadau
a fynegasant i ni, *y* weithred a wnaeth-
ost yn eu hamser hwynt, yn y dyddiau gynt.
[a] Exod. 15. 17. Psal. 78. 55. a 80. 8. 2 [a] Ti â'th law a yrraist allan y cen-
hedloedd, ac a'u plennaist hwythau: ti a
ddrygaist y bobloedd, ac a'u † cynnyddaist
hwythau.
† *gyrraist ymaith.* 3 Canys [b] nid â'u cleddyf eu hun y
[b] Deut. 8. 17. goresgynasant y tir, nid eu braich a barodd
iachawdwriaeth iddynt; eithr dy ddeheu-
Jos. 24. 12. law di, a'th fraich, a llewyrch dy wyneb,
[c] Deut. 4. 37. [c] o herwydd it' eu hoffi hwynt.
4 [d] Ti, Dduw, yw fy Mrenhin: gorchy-
[d] Psal. 74. 12. myn iachawdwriaeth i Jacob.
5 Ynot ti y cilgwthiwn ni ein gelynion:
yn dy enw di y sathrwn y rhai a gyfodant
i'n herbyn.
[e] Psal. 33. 16. 6 O herwydd [e] nid yn fy mwa'r ym-
ddiriedaf; nid fy nghleddyf chwaith a'm
hachub.
7 Eithr ti a'n hachubaist ni oddi wrth ein
gwrthwynebwŷr, ac a waradwyddaist ein
caseion.
8 Yn Nuw yr ymffrostiwn drwy'r dydd;
a *ni* a glodforwn dy enw yn dragywydd.
Selah.
[f] Psal. 60. 1, 10. a 74. 1. a 89. 38. a 108. 11. 9 Ond [f] ti a'n bwriaist ni ymaith, ac
a'n gwaradwyddaist; ac nid wyt yn myned
allan gyd â'n lluoedd.
10 Gwnaethost i ni droi yn ol oddi wrth
y gelyn: a'n caseion a anrheithiasant idd-
ynt eu hun.
[g] Rhuf. 8. 36. 11 [g] Rhoddaist ni fel defaid i'w bwytta;
a gwasgeraist ni ym mysg y cenhedloedd.
[h] Esay 52. 3, 4. Jer. 15. 13. 12 [h] Gwerthaist dy bobl heb ‡ elw, ac ni
'chwanegaist *dy olud* o'u gwerth hwynt.
‡ Heb. *olud.* 13 [i] Gosodaist ni yn warthrudd i'n cym-
mydogion, yn watwargerdd ac yn wawd i'r
[i] Deut. 28. 37. rhai ydynt o'n hamgylch.
Psal. 79. 4. a 80. 6. 14 [k] Gosodaist ni yn ddiareb ym mysg y
cenhedloedd, [l] yn rhai i ysgwyd pen arnynt
[k] Jer. 24. 9. ym mysg y bobloedd.
15 Fy ngwarthrudd *sydd* beunydd ger fy
[l] 2 Bren. 19. 21. mron, a chywilydd fy wyneb a'm todd:
16 Gan lais y gwarthruddwr a'r cablwr; o
[m] Job 16. 4. herwydd [m] y gelyn a'r ymddïalwr.
Psal. 8. 2. a 22. 7. 17 Hyn oll a ddaeth arnom; etto ni'th
anghofiasom di, ac ni buom anffyddlon yn
dy gyfammod.
18 Ni throdd ein calon yn ei hol, ac
nid aeth ein cerddediad allan o'th lwybr
[n] Esay 34. 13. a 35. 7. di;
19 Er i ti ein curo yn [n] nhrigfa dreigiau,
[o] Psal. 23. 4. a thoi trosom â [o] chysgod angau.

20 Os anghofiasom enw ein Duw, neu
[p] estyn ein dwylaw at Dduw dieithr: [p] Job 11. 13.
21 [q] Oni chwilia Duw hyn allan? canys Psal. 68. 31
efe a ŵyr ddirgeloedd y galon. [q] Job 31. 14.
22 Ië, [r] er dy fwyn di y'n lleddir beu-
nydd; cyfrifir ni fel defaid i'w lladd. [r] Rhuf. 8. 36.
23 [s] Deffro, paham y cysgi, O Ar-
GLWYDD? cyfod, na fwrw ni ymaith yn [s] Psal. 7. 6. a 35. 23.
dragywydd. a 59. 4, 5.
24 Paham y cuddi dy wyneb? *ac* yr a 78. 65.
anghofi ein cystudd a'n gorthrymder?
25 Canys [t] gostyngwyd ein henaid i'r [t] Psal. 119. 25.
llwch: glynodd ein bol wrth y ddaear.
26 Cyfod yn gynnorthwy i ni, a gwared
ni er mwyn dy drugaredd.

## PSALM XLV.

1 *Mawrhydi a rhad brenhiniaeth Crist.*
*10 Dyledswydd yr eglwys, a'r budd sydd*
*o hynny.*

¶ I'r Pencerdd [a] ar Sosannim, i feibion [a] Psal. 69. a 80. *tit.*
Corah, * Maschil, Càn cariadau. * Neu, *Athrawiaeth.*

† TRAETHA fy nghalon beth da: dy-
wedyd yr ydwyf y pethau a wneuthum *iaeth.*
i'r brenhin: fy nhafod *sydd* bin ysgrifenydd † Heb. *Mae fy nghalon yn berwi allan beth da.*
buan.
2 Teccach ydwyt nâ meibion dynion: ty-
walltwyd gras ar dy wefusau: o herwydd hyn-
ny y'th fendithiodd Duw yn dragywydd.
3 Gwregysa dy [b] gleddyf ar *dy* glun, O [b] Esay 49. 2.
Gadarn, â'th ogoniant a'th harddwch. Heb. 4. 12.
4 Ac yn dy harddwch ‡ marchoga yn Dat. 1. 16.
llwyddiannus, o herwydd gwirionedd, a a 19. 15.
lledneisrwydd, *a* chyfiawnder; a'th ddeheu- ‡ Heb. *llwydda, marchoga.*
law a ddysg i ti bethau ofnadwy.
5 Pobl a syrthiant danat; *o herwydd* dy
saethau llymion *yn glynu* ynghalon gelynion
y Brenhin.
6 [c] Dy orsedd di, O Dduw, *sydd* byth ac [c] Psal. 93. 2.
yn dragywydd: teyrnwïalen uniondeb *yw* Heb. 1. 8.
teyrnwïalen dy frenhiniaeth di.
7 [d] Cereist gyfiawnder, a chaseaist ddryg- [d] Psal. 33. 5.
ioni: am hynny y'th enneiniodd [e] Duw,
*sef* dy Dduw di, ag olew llawenydd yn [e] Esay 61. 1.
fwy nâ'th gyfeillion.
8 *Arogl* myrr, aloës, *a* chasia, *sydd ar* dy
holl wisgoedd: *allan* o'r palasau ifori, â'r
rhai y'th lawenhasant.
9 Merched brenhinoedd *oedd* ym mhlith
dy bendefigesau: [f] safai'r frenhines ar dy [f] Edrych 1 Bren. 2. 19.
ddeheulaw mewn aur coeth o Ophir.
10 Gwrando, ferch, a gwel, a gostwng dy
glust; ac [g] anghofia dy bobl dy hun, a thŷ [g] Edrych Deut. 21. 13.
dy dad.
11 A'r Brenhin a chwennych dy degwch:
canys [h] efe *yw* dy Ior di; ymostwng dithau [h] Psal. 95. 6.
iddo ef. Esay 54. 5.
12 Merch Tyrus hefyd *fydd yno* ag an-
rheg; [i] *a* chyfoethogion y bobl a ymbiliant [i] Psal. 22. 29. a 72. 10.
â'th wyneb.
13 [k] Merch y Brenhin *sydd* oll yn ogonedd- Esay 49. 23.
us o fewn: gemwaith aur *yw* ei gwisg hi.
14 [l] Mewn gwaith edau a nodwydd y [k] Dat. 19. 7, 8.
dygir hi at y Brenhin: y morwynion *y rhai*
*a ddeuant* ar ei hol, yn gyfeillesau iddi, a [l] Can. 1. 4.
ddygir attat ti.
15 Mewn llawenydd a gorfoledd y dygir
hwynt: deuant i lys y Brenhin.
16 Dy feibion fydd yn lle dy dadau, [m] y [m] 1 Petr 2. 9.
rhai a wnei yn dywysogion yn yr holl dir. Dat. 1. 6. a 5. 10. a 20. 6.
17 Paraf gofio dy enw ym mhob cenhedl-
aeth, ac oes: am hynny y bobl a'th folian-
nant byth ac yn dragywydd.

## PSALM XLVI.

1 *Yr ymddiried sydd gan yr eglwys yn Nuw.*
*8 Cyngor i ystyried hynny.*

¶ I'r Pencerdd * o feibion Corah, cân ar
[a] Alamoth.
DUW *sydd* noddfa a nerth i ni, [b] cym-
morth hawdd ei gael mewn cyfyngder.
2 Am hynny nid ofnwn pe symmudai'r
ddaear, a phe treiglid y mynyddoedd
i † ganol y môr:
3 [c] Er rhuo *a* therfysgu o'i ddyfroedd, *er*
crynu o'r mynyddoedd gan ei ymchwydd
ef. Selah.
4 *Y mae* afon, a'i ffrydiau a lawenhânt
ddinas DDUW; cyssegr preswylfeydd y Gor-
uchaf.
5 Duw *sydd* yn ei chanol; nid ysgog hi:
Duw a'i cynnorthwya ‡ yn fore iawn.
6 [d] Y cenhedloedd a derfysgasant, y
teyrnasoedd a ysgogasant: efe a roddes ei
lef, toddodd y ddaear.
7 [e] *Y mae* ARGLWYDD y lluoedd gyd â
ni; *y mae* Duw Jacob yn § ymddiffynfa i
ni. Selah.
8 [f] Deuwch, gwelwch weithredoedd yr
ARGLWYDD; pa anghyfannedd-dra a
wnaeth efe ar y ddaear.
9 Gwna i ryfeloedd beidio hyd eithaf y
ddaear; [g] efe a ddryllia'r bwa, ac a dyr y
waywffon, efe a lysg y cerbydau â thân.
10 Peidiwch, a gwybyddwch mai myfi
*sydd* DDUW: dyrchefir fi ym mysg y cen-
hedloedd, dyrchefir fi ar y ddaear.
11 [h] *Y mae* ARGLWYDD y lluoedd gyd
â ni; ymddiffynfa i ni *yw* Duw Jacob.
Selah.

* i feibion. [a] 1 Chron. 15. 20. [b] Deut. 4. 7. Psal. 145. 18. † Heb. *galon y moroedd.* [c] Psal. 93. 3, 4. Jer. 5. 22. Mat. 7. 25. ‡ Heb. *pan wyneb o'r bore.* Edrych Exod. 14. 24, 27. 2 Chron. 20. 20. Psal. 30. 5. a 143. 8. [d] Psal. 2. 1. [e] Adn. 11. § Heb. *uchelfa.* [f] Psal. 66. 5. [g] Psal. 76. 3. [h] Adn. 8.

## PSALM XLVII. *Prydnhawnol Weddi.*

*Cynghori'r cenhedloedd i groesawu teyrnas Crist yn llawen.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm * i feibion Corah.
YR holl bobl, [a] curwch ddwylaw; llafar
genwch i DDUW â llef gorfoledd.
2 Canys yr ARGLWYDD goruchaf *sydd*
ofnadwy; [b] Brenhin mawr ar yr holl ddaear.
3 Efe a ddwg y bobl danom ni, a'r cen-
hedloedd dan ein traed.
4 Efe a ddethol ein hetifeddiaeth i ni,
ardderchowgrwydd Jacob, yr hwn a hoff-
odd efe. Selah.
5 [c] Dyrchafodd Duw â llawen-floedd, yr
ARGLWYDD â sain udgorn.
6 Cenwch fawl i DDUW, cenwch: cen-
wch fawl i'n Brenhin, cenwch.
7 Canys Brenhin yr holl ddaear *yw* Duw:
[d] cenwch fawl † yn ddeallus.
8 Duw sydd yn teyrnasu ar y cenhedl-
oedd: eistedd y mae Duw ar orseddfainge
ei sancteiddrwydd.
9 ‡ Pendefigion y bobl a ymgasglasant
ynghŷd, § *sef* pobl Duw Abraham: canys
tariannau y ddaear *ydynt* eiddo Duw: dir-
fawr y dyrchafwyd ef.

* Neu, *meibion.* [a] Esay 55. 12. [b] Mal. 1. 14. [c] Psal. 68. 24, 25. [d] 1 Cor. 14. 15. † Heb. *bob deallus.* ‡ Neu, *Rhai ewyllysgar.* § Neu, *at bobl.*

## PSALM XLVIII.

*Addurn a rhagorfraint yr eglwys.*

¶ Càn *a* Psalm * i feibion Corah.
MAWR *yw*'r ARGLWYDD, a thra moli-
annus, yn ninas ein Duw ni, *yn* ei
fynydd sanctaidd.
2 [a] Tegwch bro, llawenydd yr holl ddaear,
*yw* mynydd Sïon, [b] *yn* ystlysau'r gogledd,
[c] dinas y Brenhin mawr.
3 Duw yn ei phalasau a adwaenir yn
ymddiffynfa.
4 Canys wele y brenhinoedd a ymgyn-
nullasant, aethant heibio ynghŷd.
5 Hwy a welsant, felly y rhyfeddasant;
brawychasant, *ac* aethant ymaith ar ffrwst.
6 Dychryn a ddaeth arnynt yno, *a* dolur,
megis gwraig yn esgor.
7 [d] A gwynt y dwyrain y [e] drylli longau'r
† môr.
8 Megis y clywsom, felly y gwelsom yn
[f] ninas ARGLWYDD y lluoedd, yn ninas ein
Duw ni: Duw a'i sicrhâ hi yn dragywydd.
Selah.
9 Meddyliasom, O DDUW, am dy dru-
garedd ynghanol dy deml.
10 Megis *y mae* dy enw, O DDUW, felly
*y mae* dy fawl hyd eithafoedd y tir: cyf-
lawn o gyfiawnder yw dy ddeheulaw.
11 Llawenyched mynydd Sïon, ac ym-
hyfryded merched Judah, o herwydd dy
farnedigaethau.
12 Amgylchwch Sïon, ac ewch o'i ham-
gylch hi; rhifwch ei thyrau hi.
13 ‡ Ystyriwch ei rhagfuriau, § edrychwch
ar ei phalasau; fel y mynegoch i'r oes a
ddelo ar ol.
14 Canys y Duw hwn *yw* ein Duw ni
byth ac yn dragywydd: efe a'n tywys ni
hyd angau.

* Neu, *meibion.* [a] Psal. 50. 2. Jer. 3. 19. Galar. 2. 15. Ezec. 20. 6. Dan. 8. 9. a 11. 16. [b] Esay 14. 13. [c] Mat. 5. 35. [d] Jer. 18. 17. [e] Ezec. 27. 26. † *Tarsis.* [f] Adn. 1, 2. ‡ Heb. *Gosodwch eich calonnau ar.* § Neu, *dyrchefwch.*

## PSALM XLIX.

1 *Eiriol difrif i adeiladu ffydd yr adgyfodiad, nid ar allu bydol, ond ar Dduw.* 16 *Na ddylid rhyfeddu wrth lwyddiant bydol.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm * i feibion Corah.
CLYWCH hyn, yr holl bobloedd; gwran-
dewch *hyn*, holl drigolion y byd:
2 Yn gystal [a] gwreng a bonheddig, cy-
foethog a thlawd ynghŷd.
3 Fy ngenau a draetha ddoethineb; a
myfyrdod fy nghalon *fydd* am ddeall.
4 [b] Gostyngaf fy nghlust at ddiareb; fy
nammeg a ddatguddiaf gyd â'r delyn.
5 Paham yr ofnaf yn amser adfyd, *pan*
y'm hamgylchyno anwiredd fy sodlau?
6 Rhai [c] a ymddiriedant yn eu golud, ac a
ymffrostiant yn lliosowgrwydd eu cyfoeth.
7 Gan waredu ni wared neb *ei* frawd, *ac*
ni all efe roddi iawn drosto i DDUW:
8 (Canys [d] gwerthfawr *yw* pryniad eu
henaid, a hynny a baid byth)
9 Fel y byddo efe byw byth, *ac* [e] na welo
lygredigaeth.
10 Canys efe a wel *fod* [f] y doethion yn
meirw, yr un ffunud y derfydd am ffol ac
ynfyd, gadawant eu golud i eraill.
11 Eu meddwl *yw*, *y pery* eu tai yn dra-
gywydd, *a'u* trigfeydd hyd genhedlaeth a
chenhedlaeth: henwant *eu* tiroedd ar eu
henwau eu hunain.
12 Er hynny [g] dyn mewn anrhydedd, nid
erys: tebyg yw i anifeiliaid a ddifethir.
13 Eu ffordd yma *yw* eu hynfydrwydd:
etto eu hiliogaeth ydynt foddlon i'w † hym-
adrodd. Selah.
14 Fel defaid y gosodir hwynt yn ‡ uffern;
angau a ymborth arnynt; [h] a'r rhai cyf-
iawn a lywodraetha arnynt y bore; [i] a'u
§ tegwch a dderfydd ‖ yn y bedd, o'u car-
tref.
15 Etto Duw a wared fy enaid i o
† feddiant ‡ uffern: canys efe a'm der-
byn i. Selah.
16 Nac ofna pan gyfoethogo un, pan
ychwanego gogoniant ei dŷ ef.
17 [k] Canys wrth farw ni ddwg efe ddim
ymaith, ac ni ddisgyn ei ogoniant ar ei
ol ef.
18 Er iddo yn ei fywyd fendithio ei
enaid: canmolant dithau, o byddi da wrth-
yt dy hun.

* Neu, *meibion.* [a] Psal. 62. 9. [b] Psal. 78. 2. Mat. 13. 35. [c] Job 31. 24. Psal. 52. 7. a 62. 10. Marc 10. 24. 1 Tim. 6. 17. [d] Job 36. 18, 19. [e] Psal. 89. 48. [f] Preg. 2. 16. [g] Adn. 20. Psal. 82. 7. † Heb. *genau.* ‡ *y bedd.* [h] Dan. 7. 22. Mal. 4. 13. Luc 22. 30. 1 Cor. 6. 2. Dat. 2. 26. a 20. 4. [i] Job 4. 21. Psal. 39. 11. § Neu, *ffyder.* ‖ Neu, *bedd ei cartref pob un o honynt.* † Heb. *law.* ‡ Neu, *y bedd.* [k] Job 27. 19.

19 Efe a â at genhedlaeth ei dadau, *ac* ni welant oleuni byth.

20 [l] Dyn mewn anrhydedd, ac heb ddeall, [m] sydd gyffelyb i anifeiliaid *a* ddifethir.

l Adn. 12. m Preg. 3. 19.

## PSALM L. — Boreol Weddi.

1 *Mawrhydi Duw yn ei eglwys. 5 Ei drefn ef am gasglu'r saint ynghŷd. 7 Nad oes ewyllys gan Ddu mewn seremoniau, 14 ond mewn gwir ufudd-dod.*

¶ Psalm [*] Asaph.

DUW y duwiau, *sef* yr ARGLWYDD, a lefarodd, ac a alwodd y ddaear, o godiad haul hyd ei fachludiad.

2 Allan o Sïon, [a] perffeithrwydd tegwch, [b] y llewyrchodd DUW.

3 Ein DUW ni a ddaw, ac ni bydd distaw: [c] tân a ysa o'i flaen ef, a thymmestl ddirfawr fydd o'i amgylch.

4 [d] Geilw ar y nefoedd oddi uchod, ac ar y ddaear, i farnu ei bobl.

5 Cesglwch fy saint ynghŷd attaf fi, y rhai a wnaethant gyfammod â mi trwy aberth.

6 [e] A'r nefoedd a fynegant ei gyfiawnder ef: canys [f] DUW ei hun *sydd* Farnwr. Selah.

7 [g] Clywch, fy mhobl, a mi a lefaraf; O Israel, a mi a dystiolaethaf i'th erbyn: DUW, *sef* dy DDUW di, *ydwyf* fi.

8 [h] Nid [i] am dy aberthau y'th geryddaf, na'th boeth-offrymmau, *am nad oeddynt* ger fy mron i yn wastad.

9 [k] Ni chymmeraf fustach o'th dŷ, *na* bychod o'th gorlannau.

10 Canys holl fwystfilod y coed *ydynt* eiddof fi, *a'r* anifeiliaid ar fil o fynyddoedd.

11 Adwaen holl adar y mynyddoedd: a gwŷllt anifeiliaid y maes *ydynt* † eiddof fi.

12 Os bydd newyn arnaf, ni ddywedaf i ti: [l] canys y byd a'i gyflawnder *sydd* eiddof fi.

13 A fwyttâf fi gig teirw? neu a yfaf fi waed bychod?

14 [m] Abertha foliant i DDUW; a [n] thâl i'r Goruchaf dy addunedau:

15 A [o] galw arnaf fi yn nydd trallod: mi a'th waredaf, a thi a'm gogoneddi.

16 Ond wrth yr annuwiol y dywedodd DUW, Beth sydd i ti a fynegech ar fy neddfau, neu a gymmerech ar fy nghyfammod yn dy enau?

17 [p] Gan dy fod yn casâu addysg, ac yn taflu fy ngeiriau i'th ol.

18 Pan welaist leidr, cyttunaist ag ef; a'th gyfran *oedd* gyd â'r godinebwyr.

19 Gollyngaist dy safn i ddrygioni, [q] a'th dafod a gyd-bletha ddichell.

20 Eisteddaist *a* dywedaist yn erbyn dy frawd: rhoddaist enllib i fab dy fam.

21 Hyn a wnaethost, a [r] mi a dewais: [s] tybiaist dithau fy mod yn gwbl fel ti dy hun: *ond* [t] mi a'th argyoeddaf, ac a'u trefnaf o flaen dy lygaid.

22 Deallwch hyn yn awr, y rhai ydych yn anghofio DUW; rhag i mi *eich* rhwygo, ac na *byddo* gwaredydd.

23 Yr hwn a abertho foliant, a'm gogonedda i: a'r neb a osodo *ei* ffordd *yn iawn*, dangosaf iddo iachawdwriaeth DUW.

* Neu, *i Asaph.* Edrych 1 Chron. 15. 17. a 25. 2. 2 Chron. 29. 30.
a Psal. 48. 2.
b Psal. 80. 1.
c Psal. 97. 3.
d Deut. 4. 26. a 31. 28. a 32. 1. Esay 1. 2. Michah 6. 1, 2.
e Psal. 97. 6.
f Psal. 75. 7.
g Psal. 81. 8.
h Esay 1. 11.
i Hos. 6. 6.
k Michah 6. 6. Act. 17. 25.
† Heb. *gyd â mi.*
l Exod. 19. 5. Deut. 10. 14. Job 41. 11. Psal. 24. 1. 1 Cor. 10. 26, 28.
m Hos. 14. 2. Heb. 13. 15.
n Deut. 23. 21. Job 22. 27. Psal. 76. 11. Preg. 5. 4, 5.
o Job 22. 27. Psal. 91. 15. a 107. 6, 13, 19, 28.
p Rhuf. 2. 21, 22.
q Psal. 52. 2.
r Preg. 8. 11, 12. Esay 26. 10. a 57. 11.
s Edrych Rhuf. 2. 4.
t Psal. 90. 8.

## PSALM LI.

1 *Dafydd yn gweddïo am faddeuant pechodau, ac yn gwneuthur cyffes ddifrif o honynt: 6 yn gweddïo am ei sancteiddio. 16 Nad oes ewyllys gan Dduw mewn aberth, ond mewn purdeb calon. 18 Y mae yn gweddïo dros yr eglwys.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm Dafydd, [a] pan ddaeth Nathan y prophwyd atto, wedi iddo [b] fyned i mewn at Bathseba. Cylch 1024.

TRUGARHÂ wrthyf, O DDUW, yn ol dy drugarowgrwydd: yn ol lliaws dy dosturiaethau, [c] dilea fy anwireddau.

2 [d] Golch fi yn llwyr-ddwys oddi wrth fy anwiredd, a glanhâ fi oddi wrth fy mhechod.

3 Canys yr wyf yn cydnabod fy nghamweddau: a'm pechod *sydd* yn wastad ger fy mron.

4 [e] Yn dy erbyn di, dydi dy hunan, y pechais, ac y gwneuthum y drwg *hwn* yn dy olwg: [f] fel y'th gyfiawnhaer pan lefarych, *ac* y byddit bur pan farnech.

5 Wele, [g] mewn anwiredd y'm lluniwyd; ac mewn pechod y † beichiogodd fy mam arnaf.

6 Wele, ceraist wirionedd oddi mewn: a pheri i mi wybod doethineb yn ‡ y dirgel.

7 [h] Glanhâ fi ag isop, a mi a lanhëir: golch fi, a byddaf [i] wynnach nâ'r eira.

8 Par i mi glywed gorfoledd a llawenydd; *fel* y llawenycho'r esgyrn a ddrylliaist.

9 Cuddia dy wyneb oddi wrth fy mhechodau, a [k] dilea fy holl anwireddau.

10 Crea galon lân ynof, O DDUW; ac adnewydda yspryd § uniawn o'm mewn.

11 Na fwrw fi ymaith oddi ger dy fron; ac na chymmer dy yspryd sanctaidd oddi wrthyf.

12 Dyro drachefn i mi orfoledd dy iachawdwriaeth; ac *â'th* hael yspryd cynnal fi.

13 *Yna* y dysgaf dy ffyrdd i rai anwir; a phechaduriaid a droir attat.

14 Gwared fi oddi wrth waed, O DDUW, DUW fy iachawdwriaeth: *a'm* tafod a gân yn llafar am dy gyfiawnder.

15 ARGLWYDD, agor fy ngwefusau, a'm genau a fynega dy foliant.

16 Canys [l] ni chwennychi aberth; ‖ pe amgen, mi a'i rhoddwn: poeth-offrwm ni fynni.

17 [m] Aberthau DUW *ydynt* yspryd drylliedig: calon ddrylliog gystuddiedig, O DDUW, ni ddirmygi.

18 Gwna ddaioni yn dy ewyllysgarwch i Sïon: adeilada furiau Jerusalem.

19 Yna y byddi foddlon i [n] ebyrth cyfiawnder, i boeth-offrwm ac aberth llosg: yna'r offrymmant fustych ar dy allor.

a 2 Sam. 12. 1.
b 2 Sam. 11. 2, 4.
c Adn. 9. Esay 43. 25. a 44. 22. Col. 2. 14.
d Heb. 9. 14. 1 Ioan 1. 7. Dat. 1. 5.
e Gen. 20. 6. a 39. 9. Lef. 5. 19. a 6. 2.
f Rhuf. 3. 4.
g Job 14. 4. Ioan 3. 6. Rhuf. 5. 12. Eph. 2. 3.
† Heb. *cynhesodd fy mam.*
‡ *ddirgel.*
h Lef. 14. 4, 6, 49. Num. 19. 18. Heb. 9. 19.
i Esay 1. 18.
k Adn. 1.
§ Neu, *dianwadal.*
l Num. 15. 27, 30. Psal. 40. 6. a 50. 8. Esay 1. 11. Jer. 7. 22. Hos. 6. 6.
‖ Neu, *fel y rhoddwn.*
m Psal. 15. 14, 23. Esay 57. 15. a 66. 2.
n Psal. 4. 5. Mal. 3. 3.

## PSALM LII.

1 *Dafydd yn barnu ar goegni Doëg, ac yn prophwydo ei ddinystr ef, 6 ac y llawenhâ'r cyfiawn o'i blegid. 8 Dafydd, o'i hyder ar drugaredd Duw, yn rhoddi diolch.*

¶ I'r Pencerdd, Maschil, *Psalm* Dafydd, [a] pan ddaeth Doëg yr Edomiad a mynegi i Saul, a dywedyd wrtho, Daeth Dafydd i dŷ Ahimelech.

PAHAM yr ymffrosti mewn drygioni, O [b] gadarn? y mae trugaredd DUW *yn parhâu* yn wastadol.

2 [c] Dy dafod a ddychymmyg ysgelerder; [d] fel ellyn llym, yn gwneuthur twyll.

3 Hoffaist ddrygioni yn fwy nâ daioni; *a* chelwydd yn fwy nâ thraethu cyfiawnder. Selah.

a 1 Sam. 22. 9.
b 1 Sam. 21. 7.
c Psal. 50. 19.
d Psal. 57. 4. a 59. 7. a 64. 3.

† Neu, a'r tafod. 4 Hoffaist bob geiriau distryw, † O dafod
twyllodrus.
‡ Heb. dery dithau i lawr. 5 Duw a'th ‡ ddistrywia dithau yn
dragywydd: efe a'th gipia di ymaith, ac
a'th dynn allan o'th babell, ac a'th ddi-
wreiddia o dir y rhai byw. Selah.
e Psal. 64. 9. 6 e Y cyfiawn hefyd a welant, ac a ofn-
ant, ac a chwarddant am ei ben.
7 Wele'r gwr ni osododd Dduw yn
f Psal. 49. 6. gadernid iddo; eithr f ymddiriedodd yn
lliosowgrwydd ei olud, *ac* a ymnerthodd yn
§ Neu, olud. ei § ddrygioni.
g Hos. 14. 6. 8 Ond myfi *sydd* g fel olew-wŷdden werdd
yn nhŷ Dduw: ymddiriedaf yn nhrugaredd
Duw byth ac yn dragywydd.
9 Clodforaf di yn dragywydd, o herwydd
i ti wneuthur *hyn*: a disgwyliaf wrth dy
enw; canys da *yw* ger bron dy saint.

PSALM LIII. { *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Dafydd yn gosod allan lygrediaeth dyn naturiol; 4 yn argyoeddi'r annuwiol wrth oleuni eu cydwybod eu hun; 6 yn ymogoneddu yn iachawdwriaeth Duw.*

¶ I'r Pencerdd ar y Mahalath, Maschil, *Psalm* Dafydd.

a Psal. 10. 4. a 14. 1, &c. DYWEDODD a yr ynfyd yn ei galon,
Nid *oes* un Duw. Ymlygrasant, a
b Rhuf. 3. 10. gwnaethant ffiaidd anwiredd: b nid *oes* un
yn gwneuthur daioni.
2 Edrychodd Duw i lawr o'r nefoedd ar
feibion dynion, i edrych a oedd *neb* yn
ddeallus, ac yn ceisio Duw.
3 Ciliasai pob un o honynt yn ŵysg ei
gefn: cyd-ymddifwynasent; nid *oes* a wnel
ddaioni, nac *oes* un.
4 Oni ŵyr gweithredwŷr anwiredd? y
rhai sydd yn bwytta fy mhobl, *fel y* bwyt-
taent fara: ni alwasant ar Dduw.
c Lef. 26. 17, 36. Diar. 28. 1. 5 c Yno'r ofnasant *gan* ofn, *lle* nid oedd
ofn: canys Duw a wasgarodd esgyrn yr
hwn a'th warchaeodd: gwaradwyddaist
*hwynt*, am i Dduw eu dirmygu hwy.
† Heb. Pwy a rydd, &c. 6 † O na roddid iachawdwriaeth i Israel
o Sïon! pan ymchwelo Duw gaethiwed ei
bobl, y llawenycha Jacob, *ac* yr ymhyfryda
Israel.

PSALM LIV.

1 *Dafydd yn cwyno rhag y Ziphiaid, ac yn gweddïo am iachawdwriaeth: 4 ac, o hyder ar gymmorth Duw, yn addaw aberth.*

¶ I'r Pencerdd ar Neginoth, Maschil, *Psalm*
a 1 Sam. 23. 19. a 26. 1. Dafydd, a pan ddaeth y Ziphiaid a dy-
wedyd wrth Saul, Onid ydyw Dafydd
yn ymguddio gyd â ni?
Cylch 1060. ACHUB fi, O Dduw, yn dy enw; a barn
fi yn dy gadernid.
2 Duw, clyw fy ngweddi; gwrando
ymadrodd fy ngenau.
b Psal. 86. 14. 3 Canys b dieithriaid a gyfodasant i'm
herbyn, a'r trawsion a geisiant fy enaid:
ni osodasant Dduw o'u blaen. Selah.
4 Wele, Duw *sydd* yn fy nghynnorth-
c Psal. 118. 7. wyo: c yr Arglwydd *sydd* ym mysg y rhai
a gynhaliant fy enaid.
† Heb. gwylwŷr. 5 Efe a dâl ddrwg i'm † gelynion: tor
hwynt ymaith yn dy wirionedd.
d Psal. 52. 9. 6 Aberthaf it' yn ewyllysgar: d clodforaf
dy enw, O Arglwydd; canys da *yw*.
7 Canys efe a'm gwaredodd o bob tra-
e Psal. 59. 10. llod; e a'm llygad a welodd *ei ewyllys* ar fy
ngelynion.

PSALM LV.

1 *Dafydd yn ei weddi yn cwyno ei gyflwr erchyll: 9 yn gweddïo yn erbyn ei elynion, ac yn achwyn rhag eu hanwiredd a'u brad hwy: 16 yn ymgysuro, o herwydd nawdd Duw yn ei gadw, ac o herwydd gwaradwydd ei elynion.*

¶ I'r Pencerdd ar Neginoth, Maschil, *Psalm* Dafydd.

GWRANDO fy ngweddi, O Dduw; ac 1023.
nac ymguddia rhag fy neisyfiad.
2 Gwrando arnaf, ac erglyw fi: cwynfan
yr ydwyf yn fy ngweddi, a thuchan,
3 Gan lais y gelyn, gan orthrymder yr
annuwiol: o herwydd y maent yn bwrw
anwiredd arnaf, ac yn fy nghasâu yn llidiog.
4 Fy nghalon a ofidia o'm mewn: ac ofn
angau a syrthiodd arnaf.
5 Ofn ac arswyd a ddaeth arnaf, a dy-
chryn a'm gorchuddiodd.
6 A dywedais, O na bai i mi adenydd
fel colommen! *yna*'r ehedwn ymaith, ac
y gorphwyswn.
7 Wele, crwydrwn ym mhell, *ac* arhoswn
yn yr anialwch. Selah.
8 Brysiwn i ddïangc, rhag y gwŷnt ystorm-
us *a'r* dymmestl.
9 Dinystria, O Arglwydd, *a* gwahan
eu tafodau: canys gwelais a drawsder a a Jer. 6. 7.
chynnen yn y ddinas.
10 Dydd a nos yr amgylchant hi ar ei
muriau: ac *y mae* anwiredd a blinder yn
ei chanol hi.
11 Anwireddau *sydd* yn ei chanol hi; *ac*
ni chilia twyll a dichell o'i heolydd hi.
12 Canys nid gelyn a'm difenwodd; yna
y dïoddefaswn: nid fy nghasddyn a ym-
fawrygodd i'm herbyn; yna mi a ym-
guddiaswn rhagddo ef:
13 Eithr tydi, ddyn, fy nghydradd, b fy b Psal. 41. 9.
fforddwr, a'm cydnabod,
14 Y rhai oedd felus gennym gyd-gyfrin- † Neu, i'r bedd.
achu, *ac* a rodiasom i dŷ Dduw ynghŷd.
15 Rhuthred marwolaeth arnynt, *a* disgy- c Dan. 6. 10.
nant † i uffern yn fyw: canys drygioni *sydd* Act. 3. 1. a 10. 3, 9, 30.
yn eu cartref, *ac* yn eu mysg.
16 Myfi a waeddaf ar Dduw; a'r Ar- ‡ Neu, gyd â'r rhai nid oes gyfnewidiau.
glwydd a'm hachub i.
17 c Hwyr a bore, a hanner dydd, y
gweddïaf, a byddaf daer: ac efe a glyw
fy lleferydd. § Neu, etto.
18 Efe a waredodd fy enaid mewn hedd-
wch oddi wrth y rhyfel *oedd* i'm herbyn: || Heb. halogodd.
canys yr oedd llawer gyd â mi. d Psal. 28. 3. a 57. 4. a 62. 4. a 64. 4. Diar. 5. 3, 4.
19 Duw a glyw, ac a'u darostwng hwynt,
yr hwn sydd yn aros erioed, Selah: ‡ am
nad oes gyfnewidiau iddynt, § am hynny
nid ofnant Dduw.
20 Efe a estynodd ei law yn erbyn y e Psal. 37. 5.
rhai oedd heddychlon ag ef: efe a || dor- Mat. 6. 25.
rodd ei gyfammod. Luc 12. 22.
21 d Llyfnach oedd ei enau nag ymenyn, 1 Petr 5. 7.
a rhyfel yn ei galon: tynerach oedd ei † Neu, rodd.
eiriau nag olew, a hwynt yn gleddyfau
noethion. f Psal. 37. 24.
22 e Bwrw dy † faich ar yr Arglwydd,
ac efe a'th gynnal di: f ni ad i'r cyfiawn g Psal. 5. 6.
ysgogi byth. ‡ Heb. hannerant eu dyddiau. Edrych Diar. 10. 27. Preg. 7. 17.
23 Tithau, Dduw, a'u disgyni hwynt
i bydew dinystr: g gwŷr gwaedlyd a thwyll-
odrus ni ‡ byddant byw hanner eu dyddiau;
ond myfi a obeithiaf ynot ti.

PSALM LVI. { *Boreol Weddi.*

1 *Dafydd, wrth weddïo Duw o hyder ar ei air, yn cwyno rhag ei elynion: 9 yn datgan ei ymddiried yngair Duw, ac yn addaw ei foliannu ef.*

¶ I'r Pencerdd ar Jonath Elem Rechocim, * Michtam Dafydd, pan ddaliodd [a] y Philistiaid ef yn Gath.

TRUGARHA wrthyf, O Dduw: canys dyn a'm llyngcai: beunydd, gan ymladd, y'm gorthrymma.

2 Beunydd y'm llyngcai † fy ngelynion: canys llawer sydd yn rhyfela i'm herbyn, O DDUW Goruchaf.

3 Y dydd yr ofnwyf, mi a ymddiriedaf ynot ti.

4 [b] Yn Nuw y clodforaf ei air, yn Nuw y gobeithiaf; [c] nid ofnaf beth a wnel cnawd i mi.

5 Beunydd y cam-gymmerant fy ngeiriau: eu holl feddyliau sydd i'm herbyn er drwg.

6 Hwy a ymgasglant, a lechant, ac a wyliant fy nghamrau, pan ddisgwyliant am fy enaid.

7 A ddïangant hwy trwy anwiredd? disgyn y bobloedd hyn, O Dduw, yn dy lidiowgrwydd.

8 Ti a gyfrifaist fy symmudiadau: dod fy nagrau yn dy gostrel: [d] onid ydynt yn dy lyfr di?

9 Y dydd y llefwyf arnat, yna y dychwelir fy ngelynion yn eu gwrthol: hyn a wn; am fod Duw gyd â mi.

10 [e] Yn Nuw y moliannaf ei air: yn yr Arglwydd y moliannaf ei air.

11 Yn Nuw 'r ymddiriedais: nid ofnaf beth a wnel dyn i mi.

12 Arnaf fi, O Dduw, y mae dy addunedau: talaf i ti foliant.

13 Canys [f] gwaredaist fy enaid rhag angau: oni waredi fy nhraed rhag syrthio, fel y rhodiwyf ger bron Duw [g] yngoleuni y rhai byw?

* Psalm euraid. [a] 1 Sam. 21. 11. Cylch 1062. † Heb. fy ngwylwŷr. [b] Adn. 10, 11. [c] Psal. 118. 6. Esay 31. 3. Heb. 13. 6. [d] Mal. 3. 16. [e] Adn. 4. [f] Psal. 116. 8. [g] Job 33. 30.

## PSALM LVII.

1 *Dafydd yn cilio at Dduw trwy weddi, ac yn cwyno ei enbyd gyflwr: 7 yn ymgysuro i foliannu Duw.*

¶ I'r Pencerdd, * Al-taschith, Michtam Dafydd; [a] pan ffodd rhag Saul i'r ogof.

TRUGARHA wrthyf, O Dduw, trugarhâ wrthyf: canys ynot y gobeithiodd fy enaid; ie, [b] ynghysgod dy adenydd y gobeithiaf, hyd onid êl yr aflwydd hwn heibio.

2 Galwaf ar Dduw goruchaf; ar Dduw [c] a gwblhâ â mi.

3 Efe a enfyn o'r nefoedd, ac † a'm gwared oddi wrth warthrudd yr hwn a'm llyngcai. Selah. [d] Denfyn Duw ei drugaredd a'i wirionedd.

4 Fy enaid sydd ym mysg llewod: gorwedd yr wyf ym mysg dynion poethion, sef meibion dynion, [e] y rhai y mae eu dannedd yn waywffyn a saethau, [f] a'u tafod yn gleddyf llym.

5 [g] Ymddyrcha, Dduw, uwch y nefoedd; a bydded dy ogoniant ar yr holl ddaear.

6 [h] Darparasant rwyd i'm traed; crymmwyd fy enaid: cloddiasânt bydew o'm blaen; syrthiasant yn ei ganol. Selah.

7 [i] Parod yw fy nghalon, O Dduw, parod yw fy nghalon: canaf a chanmolaf.

8 Deffro, [k] fy ngogoniant; deffro, nabl a thelyn: deffroaf yn fore.

9 Clodforaf di, Arglwydd, ym mysg y bobloedd: canmolaf di ym mysg y cenhedloedd.

10 [l] Canys mawr yw dy drugaredd hyd y nefoedd, a'th wirionedd hyd y cymmylau.

11 [m] Ymddyrcha, Dduw, uwch y nefoedd; a bydded dy ogoniant ar yr holl ddaear.

* Neu, Na ddifetha. [a] 1 Sam. 22. 1. a. 24. 3. Psal. 142. titl. [b] Psal. 17. 8. a 63. 7. [c] Psal. 138. 8. † Neu, efe a warthruddia yr hwn, &c. [d] Psal. 40. 11. a 43. 3. a 61. 7. [e] Diar. 30. 14. [f] Psal. 55. 21. a 64. 3. [g] Adn. 11. Psal. 108. 5. [h] Psal. 7. 15, 16. a 9. 15. [i] Psal. 108. 1, &c. [k] Edrych Psal. 30. 12. [l] Psal. 36. 5. a 71. 19. a 103. 11. a 108. 4. [m] Adn. 5.

## PSALM LVIII.

1 *Dafydd yn argyhoeddi barnwŷr enwir: 3 yn dangos naturiaeth yr annuwiol; 6 ac yn ymroi i farnedigaethau Duw, 10 y rhai a bar i'r cyfiawn lawenychu.*

¶ I'r Pencerdd, * [a] Al-taschith, Michtam Dafydd.

AI cyfiawnder yn ddiau a draethwch chwi, O gynnulleidfa? a fernwch chwi uniondeb, O feibion dynion?

2 Anwiredd yn hytrach a weithredwch yn y galon: [b] trawsder eich dwylaw yr ydych yn ei bwyso ar y ddaear.

3 [c] O'r groth yr ymddïeithriodd y rhai annuwiol: o'r bru y cyfeiliornasant, gan ddywedyd celwydd.

4 [d] Eu gwenwyn sydd † fel gwenwyn sarph: y maent fel ‡ [e] y neidr fyddar yr hon a gau ei chlustiau;

5 Yr hon ni wrendy ar lais y rhinwŷr, er cyfarwydded fyddo 'r swynwr.

6 [f] Dryllia, O Dduw, eu dannedd yn eu geneuau: tor, O Arglwydd, gil-ddannedd y llewod ieuainge.

7 Todder hwynt fel dyfroedd sydd yn rhedeg yn wastad: pan saetho eu saethau, byddant megis wedi eu torri.

8 Aed ymaith fel malwoden dawdd, neu [g] erthyl gwraig; fel na welont yr haul.

9 Cyn i'ch crochanau glywed y mieri, efe a'u cymmer hwynt ymaith megis â chorwynt, § yn fyw, ac yn ei ddigofaint.

10 Y cyfiawn a lawenycha pan welo ddïal: [h] efe a ylch ei draed yngwaed yr annuwiol.

11 Fel y dywedo dyn, Dïau fod ‖ ffrwyth i'r cyfiawn: dïau fod Duw a farna ar y ddaear.

* Neu, Na ddifetha. Euraid Psalm Dafydd. [a] Psal. 57. titl. [b] Psal. 94. 20. Esay 10. 1. [c] Psal. 51. 5. Esay 48. 8. [d] Psal. 140. 3. Preg. 10. 11. † Heb. yn ol cyffelybrwydd. ‡ Neu, yr asp. [e] Psal. 3. 7. Jer. 8. 17. [f] Job 4. 10. [g] Job 3. 16. Preg. 6. 3. § Heb. megis byw, megis digofaint. [h] Psal. 68. 23. ‖ Heb. gwobr.

## PSALM LIX. { Prydnhawnol Weddi.

1 *Dafydd yn gweddïo am gael ei wared oddi wrth ei elynion: 6 yn cwyno rhag eu creulondeb hwy: 9 yn ymddiried yn Nuw: 11 yn gweddïo yn eu herbyn hwy; 16 ac yn clodfori Duw.*

¶ I'r Pencerdd, * [a] Al-taschith, Michtam Dafydd; [b] pan yrrodd Saul rai i gadw y tŷ i'w ladd ef.

FY Nuw, [c] gwared fi oddi wrth fy ngelynion: † ymddiffyn fi oddi wrth y rhai a ymgyfodant i'm herbyn.

2 Gwared fi oddi wrth weithredwŷr anwiredd, ac achub fi rhag y gwŷr gwaedlyd.

3 Canys wele, cynllwynasant yn erbyn fy enaid: ymgasglodd cedyrn i'm herbyn; nid ar fy mai na'm pechod i, O Arglwydd.

4 Rhedant, ymbarottoant, heb anwiredd ynof fi: [d] deffro dithau i'm ‡ cymmorth, ac edrych.

5 A thi, Arglwydd Dduw 'r lluoedd, Duw Israel, deffro i ymweled â'r holl genhedloedd: na thrugarhâ wrth neb a wnant anwiredd yn faleisus. Selah.

6 [e] Dychwelant gyd â'r hwyr, cyfarthant fel cwn, ac amgylchant y ddinas.

7 Wele, bytheiriant â'u genau: [f] cleddyfau sydd yn eu gwefusau: canys [g] pwy (meddant) a glyw?

8 Ond [h] tydi, O Arglwydd, a'u gwatwori hwynt; ac a chwerddi am ben yr holl genhedloedd.

9 O herwydd ei nerth ef, y disgwyliaf wrthyt ti: [i] canys Duw yw fy § ymddiffynfa.

10 Fy Nuw trugarog a'm rhagflaena: Duw a wna [k] i mi weled fy ewyllys ar ‖ fy ngelynion.

* Neu, Na ddifetha. Euraid Psalm Dafydd. [a] Psal. 57. titl. [b] 1 Sam. 19. 11. [c] Psal. 18. 48. † Heb. dyrchafa fi. [d] Psal. 44. 23. ‡ Heb. cyfarfod. [e] Adn. 14. [f] Psal. 57. 4. Diar. 12. 18. [g] Psal. 10. 11, 13. a 73. 11. a 94. 7. [h] 1 Sam. 19. 16. Psal. 2. 4. [i] Adn. 17. § Heb. uchelfa. [k] Psal. 54. 7. a 92. 11. ‖ Heb. fy ngwylwŷr.

11 [l] Na ladd hwynt, rhag i'm pobl ang-
hofio: gwasgar hwynt yn dy nerth, a daros-
twng hwynt, O Arglwydd ein tarian.
12 [m] *Am* bechod eu genau, *ac* ymadrodd
eu gwefusau, dalier hwynt yn eu balchder:
ac am y felldith a'r celwydd a draethant.
13 Difa *hwynt* yn *dy* lid, difa, fel na
*byddont*: a [n] gwybyddant mai Duw sydd
yn llywodraethu yn Jacob, hyd eithafoedd
y ddaear. Selah.
14 A [o] dychwelant gyd â'r hwyr, *a* chy-
farthant fel cwn, ac amgylchant y ddinas.
15 [p] Crwydrant † am fwyd; ac oni's
digonir, ‡ grwgnachant.
16 Minnau a ganaf am dy nerth, ïe, lla-
far-ganaf am dy drugaredd yn fore: canys
buost yn ymddiffynfa i mi, ac yn noddfa yn
y dydd y bu cyfyngder arnaf.
17 I ti, fy nerth, y canaf: canys [q] Duw
*yw* fy ymddiffynfa, *a* Duw fy nhrugaredd.

[l] Felly Gen. 4. 12, 15.
[m] Diar. 12. 13. a 18. 7.
[n] Psal. 83. 18.
[o] Adn. 6.
[p] Job 15. 23. Psal. 109. 10.
† Heb. *i fwytta.*
‡ Neu, *hwy a arhosant dros nos.*
[q] Adn. 9. 10.

## PSALM LX.

1 *Dafydd yn cwyno wrth Dduw am farnedigaethau o'r blaen; 4 ac yr awrhon, ar obaith gwell, yn gweddio am ymwared: 6 yn ymgysuro yn addewidion Duw, ac yn deisyf cael yr help y rhoisai ei hyder arno.*

¶ I'r Pencerdd [a] ar Susan-eduth, * Mich-
tam Dafydd, i ddysgu; [b] pan ymladdodd
yn erbyn Syriaid Mesopotamia, a Syriaid
Sobah, pan ddychwelodd Joab, a lladd
deuddeng mil o'r Edomiaid yn nyffryn yr
halen.

O Dduw, [c] bwriaist ni ymaith, † gwas-
geraist ni, *a* sorraist: dychwel attom
drachefn.
2 Gwnaethost i'r ddaear grynu, *a* hollt-
aist hi: iachâ ei briwiau; canys y mae yn
crynu.
3 [d] Dangosaist i'th bobl galedi: [e] dïod-
aist ni â gwin ‡ madrondod.
4 [f] Rhoddaist faner i'r rhai a'th ofnant,
i'w dyrchafu o herwydd y gwirionedd.
Selah.
5 [g] Fel y gwareder dy rai anwyl: achub
â'th ddeheulaw, a gwrando fi.
6 Duw a lefarodd yn ei sancteiddrwydd,
Llawenychaf: rhannaf Sichem, a mesuraf
ddyffryn Succoth.
7 Eiddof fi *yw* Gilead, ac eiddof fi Ma-
nasseh: [h] Ephraim hefyd *yw* nerth fy mhen;
[i] Judah *yw* fy neddfwr.
8 Moab *yw* fy nghrochan golchi; dros
Edom y bwriaf fy esgid: Philistia, ymor-
foledda di § o'm plegid i.
9 Pwy a'm dwg i'r ddinas gadarn? pwy
a'm harwain hyd yn Edom?
10 Onid tydi, Dduw, *yr hwn* [k] a'n bwr-
iaist ymaith? a *thydi*, O Dduw, *yr hwn*
nid ait allan gyd â'n lluoedd?
11 Moes i ni gynhorthwy rhag cyfyng-
der: canys [l] ofer *yw* ‖ ymwared dyn.
12 Yn Nuw [m] y gwnawn wroldeb: canys
efe a sathr ein gelynion.

[a] Psal. 80. titl.
* *Psalm euraid.*
[b] 2 Sam. 8. 3, 13. 1 Chron. 18. 3, 12.
Cylch 1040.
[c] Psal. 44. 9.
† Heb. *drylliaist.*
[d] Psal. 71. 20.
[e] Esay 51. 17, 22.
‡ *syndod.*
[f] Psal. 20. 5.
[g] Psal. 108. 6, &c.
[h] Edrych Deut. 33. 17.
[i] Gen. 49. 10.
§ Neu, *arnaf fi.*
[k] Psal. 44. 9. a 108. 11.
[l] Psal. 146. 3.
‖ Neu, *iachawdwriaeth.*
[m] Num. 24. 18. 1 Chron. 19. 13.

## PSALM LXI.

1 *Dafydd yn cilio at Dduw, wrth a brofasai o'r blaen; 4 ac yn addunedu ei wasanaethu ef yn wastadol, o herwydd ei addewidion.*

¶ I'r Pencerdd ar Neginath, *Psalm* Da-
fydd.

CLYW, O Dduw, fy llefain; gwrando ar
fy ngweddi.
2 O eithaf y ddaear y llefaf attat, pan
lesmeirio fy nghalon: arwain fi i graig *a*
fyddo uwch nâ mi.
3 Canys buost yn noddfa i mi, *ac* yn dŵr
cadarn rhag y gelyn.
4 [a] Preswyliaf yn dy babell byth: [b] a'm
hymddiried fydd dan orchudd dy adenydd.
Selah.
5 Canys ti, Dduw, a glywaist fy addu-
nedau: rhoddaist etifeddiaeth i'r rhai a
ofnant dy enw.
6 [c] Ti a † estyni oes y Brenhin; ei flyny-
ddoedd *fyddant* fel ‡ cenhedlaethau lawer.
7 Efe a erys byth ger bron Duw: dar-
par [d] drugaredd a gwirionedd, *fel* y cadw-
ont ef.
8 Felly y canmolaf dy enw yn dragy-
wydd, fel y talwyf fy addunedau beu-
nydd.

[a] Psal. 27. 4.
[b] Psal. 17. 8. a 57. 1. a 91. 4.
[c] Psal. 21. 4.
† Heb. *chwanegi ddyddiau at ddyddiau y brenhin.*
‡ Heb. *cenhedlaeth a chenhedlaeth.*
[d] Psal. 40. 11. Diar. 20. 28.

## PSALM LXII. } { Boreol Weddi.

1 *Dafydd, wrth ddangos ei hyder ar Dduw, yn digalonni ei elynion; 5 ac, yn yr un hyder, yn rhoi calon yn y duwiol. 9 Nad yw i neb roi ei olud ar bethau bydol. 11 Galiu a thrugaredd a berthyn i Dduw.*

¶ I'r Pencerdd, i [a] Jeduthun, Psalm Da-
fydd.

WRTH Dduw † yn unig y ‡ disgwyl
[b] fy enaid: o hono ef *y daw* fy iach-
awdwriaeth.
2 [c] Efe yn unig *yw* fy nghraig, a'm
hiachawdwriaeth, *a'm* § hymddiffyn; ni'm
mawr ysgogir.
3 Pa hyd y bwriedwch aflwydd yn erbyn
gwr? lleddir chwi oll; *a byddwch* [d] fel mag-
wyr ogwyddedig, *neu* bared ar ei ogwydd.
4 Ymgynghorasant yn unig i'w fwrw *ef*
i lawr o'i fawredd; hoffasant gelwydd:
[e] â'u geneuau y bendithiant, ond o'u mewn
y melldithiant. Selah.
5 [f] O fy enaid, disgwyl wrth Dduw yn
unig: canys ynddo ef *y mae* fy ngobaith.
6 Efe yn unig *yw* fy nghraig, a'm hiach-
awdwriaeth; *efe yw* fy ymddiffynfa: ni'm
hysgogir.
7 Yn Nuw *y mae* fy iachawdwriaeth a'm
gogoniant: craig fy nghadernid, *a'm* noddfa
*sydd* yn Nuw.
8 Gobeithiwch ynddo ef bob amser; O
bobl, [g] tywelltwch eich calon ger ei fron
ef: Duw *sydd* noddfa i ni. Selah.
9 [h] Gwagedd yn ddïau *yw* meibion dyn-
ion, geudab *yw* meibion gwŷr: i'w gosod
yn y clorian, *ysgafnach ydynt* hwy i gyd nâ
gwegi.
10 Nac ymddiriedwch mewn trawsder,
ac mewn trais na fyddwch ofer: [i] os cyn-
nydda golud, na roddwch eich calon *arno*.
11 Unwaith y dywedodd Duw, clywais
hynny ddwywaith; mai eiddo Duw *yw*
cadernid.
12 Trugaredd hefyd *sydd* eiddot ti, O
Arglwydd: canys [k] ti a deli i bob dyn yn
ol ei weithred.

[a] 1 Chron. 25. 1, 3.
1048.
† Neu, *yn ddiau.*
‡ Heb. *distawa.*
[b] Psal. 33. 20.
[c] Adn. 6.
§ Heb. *huchelfa.*
[d] Esay 30. 13.
[e] Psal. 28. 3.
[f] Adn. 1, 2.
[g] 1 Sam. 1. 15. Galar. 2. 19.
[h] Psal. 39. 5, 11. Esay 40. 15, 17. Rhuf. 3. 4.
[i] Job 31. 25. Luc 12. 15. 1 Tim. 6. 17.
[k] Job 34. 11. Diar. 24. 12. Jer. 32. 19. Ezec. 7. 27. a 33. 20. Mat. 16. 27. Rhuf. 2. 6. 1 Cor. 3. 8. 2 Cor. 5. 10. Eph. 6. 8. Col. 3. 25. 1 Petr 1. 17. Dat. 22. 12.

## PSALM LXIII.

1 *Hiraeth Dafydd am Dduw. 4 Y modd y bendithiai efe Dduw. 9 Ei hyder o ddinystr ei elynion, a'i addiogelwch ei hun.*

¶ Psalm Dafydd, [a] pan oedd efe yn ni-
ffaethwch Judah.

TI, O Dduw, *yw* fy Nuw i; yn fore
y'th geisiaf: [b] sychedodd fy enaid am
danat, hiraethodd fy nghnawd am danat,
mewn tir cras a † sychedig heb ddwfr;

[a] 1 Sam. 22. 5. a 23. 14, 15, 26.
[b] Psal. 42. 2. a 84. 2. a 143. 6.
† Heb. *blin.*

2 I weled c dy nerth a'th ogoniant, fel y'th welais yn y cyssegr.

3 Canys gwell yw dy drugaredd di nâ'r bywyd: fy ngwefusau a'th foliannant.

4 Fel hyn y'th glodforaf yn fy mywyd: dyrchafaf fy nwylaw yn dy enw.

5 Megis â † mer ac â brasder y digonir fy enaid; a'm genau a'th fawl â gwefusau llafar:

6 Pan d y'th gofiwyf ar fy ngwely, myfyriaf am danat yngwyliadwriaethau'r nos.

7 Canys buost gynhorthwy i mi; am hynny e ynghysgod dy adenydd y gorfoleddaf.

8 Fy enaid a lŷn wrthyt: dy ddeheulaw a'm cynnal.

9 Ond y rhai a geisiant fy enaid i ddistryw, a ant i iselderau'r ddaear.

10 ‡ Syrthiant ar fin y cleddyf: rhan llwynogod fyddant.

11 Ond y Brenhin a lawenycha yn Nuw: gorfoledda pob un f a dyngo iddo ef: eithr cauir genau y rhai a ddywedant gelwydd.

c Edrych 1 Sam. 4. 21. 1 Chron. 16. 11. Psal. 78. 61.
† Heb. brasder.
d Psal. 42. 9. a 119. 55. a 149. 5.
e Psal. 61. 4.
‡ Heb. Gwnant iddo lifeirio trwy ddwy law'r cleddyf.
f Deut. 6. 13. Esay 45. 23. a 65. 16. Seph. 1. 5.

## PSALM LXIV.

1 *Dafydd yn gweddïo am ymwared, ac yn cwyno rhag ei elynion: 7 yn addaw iddo ei hun, y cai weled y fath amlug ddinystr ar ei elynion, ag a barai i'r cyfiawn lawenychu o'i blegid.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

CLYW fy llef, O Dduw, yn fy ngweddi: cadw fy einioes rhag ofn y gelyn.

2 Cudd fi rhag cyfrinach y rhai drygionus; rhag terfysg gweithredwŷr anwiredd:

3 a Y rhai a hogant eu tafod fel cleddyf, ac b a ergydiant eu saethau, sef geiriau chwerwon:

4 I saethu'r perffaith yn ddirgel: yn ddisymmwth y saethant ef, ac nid ofnant.

5 c Ymwrolant mewn † peth drygionus: ymchwedleuant ‡ am osod maglau yn ddirgel; d dywedant, Pwy a'u gwel hwynt?

6 Chwiliant allan anwireddau; § gorphenant ddyfal chwilio: ceudod a chalon pob un o honynt sydd ddofn.

7 Eithr e Duw a'u saetha hwynt; â saeth ddisymmwth || yr archollir hwynt.

8 Felly hwy a wnant i'w tafodau eu hun syrthio arnynt: f pob un a'u gwelo a gilia.

9 g A phob dyn a ofna, ac a fynega waith Duw: canys doeth-ystyriant ei waith ef.

10 h Y cyfiawn a lawenycha yn yr Arglwydd, ac a obeithia ynddo, a'r rhai uniawn o galon oll a orfoleddant.

a Psal. 11. 2. a 57. 4.
b Psal. 58. 7.
c Edrych Diar. 1. 11.
† Neu, gair.
‡ Heb. i guddio maglau.
d Psal. 59. 7.
§ Neu, treuliasom gan yr hyn a ddyfal chwiliasant.
e Psal. 7. 12, 13.
|| Heb. fydd eu harcholl.
f Psal. 31. 11. a 52. 6.
g Psal. 32. 11.
h Psal. 58. 10.

## PSALM LXV. } { Prydnhawnol Weddi.

1 *Dafydd yn moliannu Duw am ei ras. 4 Dedwyddwch etholedigion Duw, oblegid amryw ddoniau.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm a Chân Dafydd.

MAWL † a'th erys di yn Sion, O Dduw: ac i ti y telir yr adduned.

2 Ti yr hwn a wrandewi weddi, attat ti y daw pob cnawd.

3 Pethau anwir a'm gorchfygasant: ein camweddau ni, ti a'u glanhêi.

4 a Gwyn ei fyd yr hwn a ddewisech, ac a nesaech attat; fel y trigo yn dy gynteddoedd: b nyni a ddigonir â daioni dy dŷ, sef dy deml sanctaidd.

5 Attebi i ni trwy bethau ofnadwy, yn dy gyfiawnder, O Dduw ein hiachawdwriaeth; gobaith holl gyrrau'r ddaear, a'r rhai sydd bell ar y môr.

6 Yr hwn a sicrhâ'r mynyddoedd trwy ei nerth, ac c a wregysir â chadernid.

7 d Yr hwn a ostega dwrf y moroedd, twrf eu tonnau, a e therfysg y bobloedd.

8 A phreswylwŷr eithafoedd y byd a ofnant dy arwyddion: gwnai i derfyn bore a hwyr ‡ lawenychu.

9 Yr wyt yn ymweled â'r ddaear, § ac † yn ei dyfrhau hi: yr ydwyt yn ei chyfoethogi hi yn ddirfawr ag afon Duw, yr hon sydd yn llawn dwfr: yr wyt yn parottoi ŷd iddynt, pan ddarperaist felly iddi.

10 Gan ddyfrhau ei chefnau, a || gostwng ei rhychau, yr ydwyt yn ei † mwydo hi â chafodau, ac yn bendithio ei chnwd hi.

11 Coroni yr ydwyt y flwyddyn â'th ddaioni; a'th lwybrau a ddiferant fraster.

12 Diferant ar borfeydd yr anialwch: a'r bryniau a ‡ ymwregysant â hyfrydwch.

13 Y dolydd a wisgir â defaid, a'r dyffrynoedd a orchuddir ag ŷd; am hynny y bloeddiant, ac y canant.

† Heb. a ddistawa it'.
a Psal. 33. 12. a 84. 4.
b Psal. 36. 8.
c Psal. 93. 1.
d Psal. 89. 9. a 107. 29.
e Esay 17. 12, 13.
‡ Neu, ganu.
§ Neu, wedi it beri iddi chwennych gwlaw.
f Psal. 68. 9, 10. a 104. 13.
|| Neu, pheri i'r gwlaw ddisgyn yn ei rhychau.
† Heb. dattod.
‡ lawenychant o bob tu.

## PSALM LXVI.

1 *Dafydd yn annog i foliannu Duw, 5 i ddal ar ei weithredoedd ef, 8 i'w fendithio am ei ddoniau grasusol: 12 yn addaw drosto ei hun wasanaeth crefyddol i Dduw: 16 yn datgan enwedig ddoniau Duw iddo ef.*

¶ I'r Pencerdd, Cân neu Psalm.

LLAWEN-FLOEDDIWCH i Dduw, yr holl ddaear.

2 Datgenwch ogoniant ei enw: gwnewch ei foliant yn ogoneddus.

3 Dywedwch wrth Dduw, Mor ofnadwy wyt yn dy weithredoedd! o herwydd maint dy nerth, † y cymmer dy elynion arnynt fod yn ddarostyngedig i ti.

4 Yr holl ddaear a'th addolant di, ac a ganant i ti; ïe, canant i'th enw. Selah.

5 a Deuwch, a gwelwch weithredoedd Duw: ofnadwy yw yn ei weithred tu ag at feibion dynion.

6 b Trodd efe'r môr yn sychdir: c aethant trwy'r afon ar draed: yna y llawenychasom ynddo.

7 Efe a lywodraetha trwy ei gadernid byth; d ei lygaid a edrychant ar y cenhedloedd: nac ymddyrchafed y rhai anufudd. Selah.

8 O bobloedd, bendithiwch ein Duw, a pherwch glywed llais ei fawl ef:

9 Yr hwn sydd yn gosod ein henaid mewn bywyd, ac ni ad i'n troed lithro.

10 Canys e profaist ni, O Dduw: coethaist ni, fel coethi arian.

11 Dygaist ni i'r rhwyd; gosodaist wasgfa ar ein llwynau.

12 f Peraist i ddynion farchogaeth ar ein pennau; g aethom trwy'r tân a'r dwfr: a thi a'n dygaist allan i le ‡ diwall.

13 h Deuaf i'th dŷ ag offrymmau poeth: i talaf it' fy addunedau,

14 Y rhai a § adroddodd fy ngwefusau, ac a ddywedodd fy ngenau yn fy nghyfyngder.

15 Offrymmaf it' boeth-offrymmau || breision, ynghŷd ag arogl-darth hyrddod; aberthaf ychen a bychod. Selah.

16 Deuwch, gwrandêwch, y rhai oll a ofnwch Dduw; a mynegaf yr hyn a wnaeth efe i'm henaid.

17 Llefais arno â'm genau, ac efe a ddyrchafwyd â'm tafod.

† Psal. 18. 14. a 81. 15.
a Psal. 46. 8.
b Exod. 14. 21.
c Jos. 3. 14.
d Psal. 11. 4.
e Psal. 17. 3. Esay 48. 10.
f Esay 51. 23.
g Esay 43. 2.
‡ Heb. dyfradwy.
h Psal. 100. 4.
i Preg. 5. 4.
§ Heb. agorodd.
|| Heb. o fêr

18 [k] Pe edrychaswn ar anwiredd yn fy nghalon, ni wrandawsai 'r Arglwydd.

k Diar. 28. 9. Esay 1. 15. Ioan 9. 31. Iago 4. 3.

19 Duw yn ddïau a glybu, *ac* a wrandawodd ar lais fy ngweddi.

20 Bendigedig *fyddo* Duw, yr hwn ni throdd fy ngweddi *oddi wrtho,* na'i drugaredd ef oddi wrthyf finnau.

## PSALM LXVII.

1 *Gweddi am helaethu teyrnas Dduw,* 3 *er llawenydd i'r bobl,* 6 *ac er amlhâu bendithion Duw.*

¶ I'r Pencerdd ar Neginoth, Psalm, *neu* Gân.

DUW a drugarhao wrthym, ac a'n bendithio; *a* [a] thywynned ei wyneb † arnom. Selah.

a Psal. 4. 6. † Heb. *gyd â ni.*

2 Fel yr adwaener dy ffordd ar y ddaear, a'th iachawdwriaeth ym mhlith yr holl genhedloedd.

3 Molianned y bobl di, O DDUW; molianned yr holl bobl dydi.

4 Llawenhâed y cenhedloedd, a byddant hyfryd: canys [b] ti a ferni 'r bobl yn uniawn, ac a ‡ lywodraethi'r cenhedloedd ar y ddaear. Selah.

b Psal. 96. 13. ‡ Heb. *dywysi.*

5 Molianned y bobl di, O DDUW; molianned yr holl bobl dydi.

6 [c] *Yna* 'r ddaear a rydd ei ffrwyth; *a* Duw, *sef* ein Duw ni, a'n bendithia.

c Psal. 85. 12.

7 Duw a'n bendithia; a holl derfynau'r ddaear a'i hofnant ef.

## PSALM LXVIII. *Boreol Weddi.*

1 *Gweddi wrth symmudo'r arch.* 4 *Cyngor i foliannu Duw am ei drugareddau;* 7 *am ei ofal dros ei eglwys;* 19 *am ei fawr drugareddau.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm *neu* Gân Dafydd.

CYFODED [a] Duw, gwasgarer ei elynion: a ffoëd ei gaseion † o'i flaen ef.

a Num. 10. 35. † Heb. *rhag ei wyneb ef.*

2 Chweli *hwynt* fel chwalu mŵg: fel y tawdd cwyr wrth y tân, difether y rhai annuwiol o flaen Duw.

3 Ond [b] llawenycher y rhai cyfiawn, a gorfoleddant ger bron Duw; a byddant hyfryd o lawenydd.

b Psal. 32. 11.

4 Cenwch i DDUW, canmolwch ei enw: dyrchefwch yr hwn sydd yn marchogaeth ar y nefoedd, a'i enw yn JAH, a gorfoleddwch ger ei fron ef.

5 [c] Tad yr amddifaid, a Barnwr y gweddwon, *yw* Duw, yn ei breswylfa sanctaidd.

c Psal. 10. 14, 18. a 146. 9.

6 [d] Duw sydd yn gosod yr unig mewn teulu: [e] yn dwyn allan y rhai a rwymwyd mewn gefynnau; ond [f] y rhai cyndyn a breswyliant gras-*dir.*

d 1 Sam. 2. 5. Psal. 113. 9. e Psal. 107. 10. a 146. 7. f Psal. 107. 34, 40.

7 Pan aethost, O DDUW, o flaen dy bobl, pan gerddaist trwy 'r anialwch; Selah:

8 [g] Y ddaear a grynodd, a'r nefoedd a ddiferasant o flaen Duw: Sinai yntau *a grynodd* o flaen Duw, *sef* Duw Israel.

g Exod. 19. 16, 18. Barn. 5. 4. Esay 64. 1, 3.

9 [h] Dyhidlaist wlaw graslawn, O DDUW, *ar* dy etifeddiaeth: ti a'i gwrteithiaist wedi ei blino.

h Deut. 11. 11, 12.

10 Dy gynnulleidfa di sydd yn trigo ynddi: yn dy ddaioni, O DDUW, yr wyt yn darparu i'r tlawd.

11 Yr ARGLWYDD a roddes y gair; mawr *oedd* ‡ mintai y rhai a'i pregethent.

‡ Heb. *llu.*

12 Brenhinoedd byddinog a § ffoisant ar ffrwst: a'r hon a drigodd yn tŷ, a rannodd yr yspail.

§ Heb. *ffoisant, ffoisant.*

13 Er gorwedd o honoch ym mysg y crochanau, *byddwch fel* esgyll colommen wedi eu gwisgo ag arian, a'i hadenydd ag aur melyn.

14 Pan wasgarodd yr Holl-alluog frenhinoedd || ynddi, yr oedd hi yn wen fel eira yn Salmon.

|| Neu, *erddi.*

15 Mynydd Duw *sydd fel* mynydd Basan; yn fynydd cribog *fel* mynydd Basan.

16 Paham y llemmwch, chwi fynyddoedd cribog? [i] *dyma*'r mynydd a chwennychodd Duw ei breswylio; ïe, preswylia'r ARGLWYDD *ynddo* byth.

i Psal. 87. 1. a 132. 13, 14.

17 [k] Cerbydau Duw *ydynt* ugain mil, *sef* † miloedd o angylion: yr Arglwydd *sydd* yn eu plith *megis* yn Sinai yn y cyssegr.

k Deut. 33. 2. 2 Bren. 6. 16, 17. Dan. 7. 10. Heb. 12. 22. Dat. 9. 16. † Neu, *llawer mil.*

18 [l] Dyrchefaist i'r uchelder, caethgludaist gaethiwed: derbyniaist roddion ‡ i ddynion; ïe, *i*'r rhai cyndyn hefyd, fel y preswyliai 'r ARGLWYDD DDUW *yn eu plith.*

l Eph. 4. 8. ‡ Heb. *yn y dyn.*

19 Bendigedig *fyddo*'r Arglwydd, *yr hwn* a'n llwytha beunydd *â daioni;* *sef* Duw ein iachawdwriaeth. Selah.

20 Ein Duw ni *sydd* DDUW iachawdwriaeth; ac [m] i'r ARGLWYDD DDUW *y perthyn* dïangfâu rhag marwolaeth.

m Dat. 1. 18. a 20. 1.

21 [n] Duw yn ddïau a archolla ben ei elynion; *a* choppa walltog yr hwn a rodio rhagddo yn ei gamweddau.

n Psal. 110. 6. Hab. 3. 13.

22 Dywedodd yr Arglwydd, Dygaf *fy mhobl* drachefn [o] o Basan, dygaf *hwynt* drachefn [p] o ddyfnder y môr:

o Num. 21. 33. p Exod. 14. 22.

23 [q] Fel y § trocher dy droed yngwaed *dy* elynion, *a* thafod dy gŵn yn yr unrhyw.

q Psal. 58. 10. § Neu, *cocher.*

24 Gwelsant dy fynediad, O DDUW; mynediad fy Nuw, fy Mrenhin, yn y cyssegr.

25 [r] Y cantorion a aethant o'r blaen, a'r cerddorion ar ol; yn *eu* mysg *yr oedd* y llangcesau yn canu tympanau.

r 1 Chron. 13. 8. a 15. 16. Psal. 47. 5.

26 Bendithiwch DDUW yn y cynnulleidfaoedd, *sef* yr Arglwydd, *y rhai ydych* o [s] ffynnon Israel.

s Deut. 33. 28. Esay 48. 1.

27 Yno *y mae* [t] Benjamin fychan *â*'u llywydd, tywysogion Judah *â*'u cynnulleidfa; tywysogion Zabulon, *a* thywysogion Naphtali.

t 1 Sam. 9. 21.

28 Dy DDUW a orchymynodd dy nerth: cadarnhâ, O DDUW, yr hyn a wnaethost ynom ni.

29 [u] Brenhinoedd a ddygant i ti anrheg er mwyn dy deml yn Jerusalem.

u 1 Bren. 10. 10, 24, 25. 2 Chron. 32. 23. Psal. 72. 10. a 76. 12.

30 Cerydda || dyrfa'r gwaywffyn, cynnulleidfa y gwrdd-deirw, gyd â lloi 'r bobl, *fel* y delont yn ostyngedig â darnau arian: † gwasgar y bobl *sy* dda ganddynt ryfel.

|| Neu, *anifail y cyrs.* † Neu, *efe a wasgar.*

31 Pendefigion a ddeuant o'r Aipht; Ethiopia [x] a estyn ei dwylaw'n brysur at DDUW.

x Psal. 44. 20.

32 Teyrnasoedd y ddaear, cenwch i DDUW; canmolwch yr Arglwydd, Selah:

33 Yr hwn [y] a ferchyg ar nef y nefoedd, *y rhai oedd* erioed: wele [z] efe yn ‡ anfon ei lef, *a honno* yn llef nerthol.

y Psal. 18. 10. a 104. 3. z Psal. 29. 3 &c. ‡ Heb. *rhoi.*

34 Rhoddwch i DDUW gadernid: ei oruchelder *sydd* ar Israel, a'i nerth yn yr wybrennau.

35 Ofnadwy *wyt,* O DDUW, o'th gyssegr: Duw Israel *yw* efe sydd yn rhoddi nerth a chadernid i'r bobl. Bendigedig *fyddo* Duw.

## PSALM LXIX. *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Dafydd yn cwyno ei gystudd:* 13 *yn gweddïo am ymwared;* 22 *yn dïofrydu ei elynion i ddinystr;* 30 *yn moliannu Duw gyd â diolch.*

a Psal. 45. titl. ¶ I'r Pencerdd [a] ar Sosannim, *Psalm* Dafydd.

b Ioan 2. 5. ACHUB fi, O DDUW; canys [b] y dyfr-
Adn. 2, 14, 15. oedd a ddaethant i mewn hyd at *fy*
enaid.
c Psal. 40. 2. 2 [c] Soddais † mewn tom dwfn, lle nid
*oes* sefyllfa: daethum i ddyfnder dyfroedd,
† Heb. *yn nhom y dyfnder.* a'r ffrwd a lifodd drosof.
3 Blinais yn llefain, sychodd fy ngheg:
d Psal. 119. 82, 123. [d] pallodd fy llygaid, tra 'r ydwyf yn disgwyl
wrth fy NUW.
4 Amlach na gwallt fy mhen yw y rhai
e Ioan 15. 25. [e] a'm casânt heb achos: cedyrn *yw* fy
ngelynion diachos, y rhai a'm difethent:
yna y telais yr hyn ni chymmerais.
5 O DDUW, ti a adwaenost fy ynfyd-
‡ Heb. *fy euog-rwydd.* rwydd: ac nid yw ‡ fy nghamweddau
guddiedig rhagot.
6 Na chywilyddier o'm plegid i y rhai a
obeithiant ynot ti, Arglwydd DDUW y
f Psal. 31. 11. lluoedd: na waradwydder o'm plegid i y
Esay 53. 3. rhai a'th geisiant di, O DDUW Israel.
Ioan 1. 11. a 7. 5. 7 Canys er dy fwyn di y dygais warth-
g Psal. 119. 139. rudd, *ac* y todd cywilydd fy wyneb.
Ioan 2. 17. 8 [f] Aethum yn ddïeithr i'm brodyr, ac *fel*
estron gan blant fy mam.
h Rhuf. 15. 3. 9 [g] Canys zel dy dŷ a'm hysodd; a [h] gwa-
Edrych Psal. 89. radwyddiad y rhai a'th waradwyddent di, a
50, 51. syrthiodd arnaf fi.
i Psal. 35. 13, 14. 10 [i] Pan wylais, *gan gystuddio* fy enaid ag
ympryd, bu hynny yn waradwydd i mi.
k Job 30. 9. 11 Gwisgais hefyd sachliain; ac aethum
yn ddiareb iddynt.
Psal. 35. 15, 16. 12 Yn fy erbyn y chwedleuai 'r rhai a
eisteddent yn y porth; [k] ac § i'r meddwon
§ Heb. *i yfwyr diod gadarn.* *yr oeddwn* yn || wawd.
13 Ond myfi, fy ngweddi *sydd* attat ti, O
|| *gân.* ARGLWYDD, [l] *mewn* amser cymmeradwy:
l Esay 49. 8. O DDUW, yn llïosowgrwydd dy drugaredd
a 55. 6. gwrando fi, yngwirionedd dy iachawdwr-
2 Cor. 6. 2. iaeth.
m Psal. 144. 7. 14 Gwared fi o'r dom, ac na soddwyf: [m]
gwareder fi oddi wrth fy nghaseion, ac o'r
n Adn. 1, 2, 15. [n] dyfroedd dyfnion.
15 Na lifed y ffrwd ddwfr drosof, ac na
o Psal. 27. 9. a 102. 2. lyngced y dyfnder fi; na chaued y pydew
chwaith ei safn arnaf.
p Psal. 22. 6, 7. 16 Clyw fi, ARGLWYDD; canys da *yw* dy
Esay 53. 3. drugaredd: yn ol llïaws dy dosturiaethau
Heb. 12. 2. edrych arnaf.
q Psal. 142. 4. 17 Ac [o] na chuddia dy wyneb oddi wrth
Esay 63. 5. dy was; canys *y mae* cyfyngder arnaf: brys-
† Heb. *i gyd-gwynfan a mi.* ia, gwrando fi.
18 Nesâ at fy enaid, *a* gwared ef: achub
fi o herwydd fy ngelynion.
r Mat. 27. 34, 48. 19 Ti a adwaenost [p] fy ngwarthrudd, a'm
cywilydd, a'm gwaradwydd: fy holl elynion
Marc 15. 23. *ydynt* ger dy fron di.
Ioan 19. 29. 20 Gwarthrudd a dorrodd fy nghalon; yr
s Rhuf. 11. 9, 10. ydwyf mewn gofid: a [q] disgwyliais *am rai*
† i dosturio *wrthyf*, ac nid *oedd* neb; ac am
t Esay 6. 9, 10. gysurwŷr, ac ni chefais neb.
Ioan 12. 39, 40. 21 [r] Rhoddasant hefyd fustl yn fy mwyd,
ac a'm diodasant yn fy syched â finegr.
Rhuf. 11. 8. 22 [s] Bydded eu bwrdd yn fagl ger eu bron,
2 Cor. 3. 14. a'u llwyddiant yn dramgwydd.
u Act. 1. 20. 23 [t] Tywyller eu llygaid, fel na welont;
a gwna i'w llwynau grynu bob amser.
‡ Heb. *palas.* 24 Tywallt dy ddig arnynt: a chyr-
haedded llidiowgrwydd dy ddigofaint hwynt.
x Edrych 2 Chron. 28. 9. 25 [u] Bydded eu ‡ preswylfod yn ang-
hyfannedd; *ac* na fydded a drigo yn eu
y Esay 53. 4. pebyll.
26 Canys [x] erlidiasant [y] yr hwn a daraw-
§ Heb. *dy archolledigion.* sit ti; ac am ofid § y rhai a archollaist ti, y
chwedleuant.

27 Dod ti || anwiredd at eu hanwiredd || Neu, *gosp anwiredd.*
hwynt: ac na ddelont i'th gyfiawnder di.
28 [z] Dileer hwynt o lyfr y rhai byw; ac z Exod. 32. 32.
[a] na 'sgrifener hwynt gyd â'r rhai cyfiawn.
29 Minnau, truan a gofidus *ydwyf*: dy Dat. 13. 8.
iachawdwriaeth di, O DDUW, a'm dyrchafo. a Luc 10. 20.
30 Moliannaf enw DUW ar gân, a mawr- Heb. 12. 23.
ygaf ef mewn mawl.
31 [b] A *hyn* fydd well gan yr ARGLWYDD b Psal. 50. 13, 14, 23.
nag ych *neu* fustach corniog, carnol.
32 [c] Y trueiniaid a lawenychant *pan* welant c Psal. 34. 2.
*hyn*: [d] eich calon chwithau, y rhai a geisiwch
DDUW, a fydd byw. d Psal. 22. 26.
33 Canys gwrendy 'r ARGLWYDD ar
dlodion, ac ni ddïystyra efe ei garcharorion.
34 [e] Nefoedd a daear, y môr a'r hyn oll e Psal. 96. 11.
a ymlusgo ynddo, molant ef. Esay 44.
35 Canys DUW a achub Sïon, ac a adeila- 23. a 49. 13.
da ddinasoedd Judah; fel y trigont yno, ac
y meddiannont hi.
36 [f] A hiliogaeth ei weision a'i meddian- f Psal. 102. 28.
nant hi: a'r rhai a hoffant ei enw ef, a
breswyliant ynddi.

## PSALM LXX.

*Dafydd yn ymbil â Duw am gyflym ddinystr i'r annuwiol, a'i nawdd i'r duwiol.*

¶ I'r Pencerdd, *Psalm* Dafydd [a] i goffa. a Psal. 38. titl.
O [b] DDUW, *prysura* i'm gwaredu; brysia, b Psal. 40.
ARGLWYDD, i'm cymmorth. 13, &c.
2 [c] Cywilyddier a gwarthrudder y rhai a a 71. 12.
geisiant fy enaid: troër yn eu hol a gwarad- c Psal. 35.
wydder y rhai a ewyllysiant ddrwg i mi. 4, 26. a 71. 13.
3 Dattroër yn lle gwobr am eu cywilydd,
y rhai a ddywedant, Ha, ha.
4 Llawenyched, a gorfoledded ynot ti y
rhai oll a'th geisiant; a dyweded y rhai a
garant dy iachawdwriaeth yn wastad, Mawr-
yger Duw.
5 Minnau *ydwyf* dlawd ac anghenus; O
DDUW, brysia attaf: fy nghymmorth a'm
gwaredydd *ydwyt* ti, O ARGLWYDD; na
hir drig.

## PSALM LXXI. { *Boreol Weddi.*

1 *Dafydd, mewn hyder ffydd, a phrawf o ffafr Duw, yn gweddïo drosto ei hun, ac yn erbyn gelynion ei enaid: 14 yn addaw bod yn ddïanwadal: 17 yn gweddïo am nerth i barhâu: 19 Yn moliannu Duw, ac yn addaw gwneuthur hynny yn llawen.*

YNOT [a] ti, O ARGLWYDD, y gobeith- 1023.
iais; na'm cywilyddier byth. a Psal. 25.
2 Achub fi, a gwared fi yn dy gyfiawnder: 2, 3. a 31. 1.
gostwng dy glust attaf, ac achub fi.
3 Bydd i mi'n † drigfa gadarn, i ddyfod † Heb.
iddi bob amser: gorchymynaist fy achub; *graig gyf-*
canys ti *yw* fy nghraig a'm hymddiffynfa. *annedd.*
4 [b] Gwared fi, O fy NUW, o law 'r an- b Psal. 140.
nuwiol, o law 'r anghyfion a'r traws. 1, 4.
5 Canys ti *yw* fy ngobaith, O Arglwydd
DDUW; fy ymddiried o'm hieuengctid.
6 [c] Wrthyt ti y'm cynhaliwyd o'r bru; ti c Psal. 22.
a'm tynnaist o groth fy mam: fy mawl *fydd* 9, 10.
yn wastad am danat ti. Esay 46. 3.
7 [d] Oeddwn i lawer megis yn rhyfeddod: d Zech. 3. 8
eithr tydi *yw* fy nghadarn noddfa.
8 Llanwer fy ngenau â'th foliant, *ac* â'th
ogoniant beunydd.
9 [e] Na fwrw fi ymaith yn amser henaint: e Adn. 18.
na wrthod fi pan ballo fy nerth.
10 Canys fy ngelynion sydd yn dywedyd
i'm herbyn; a'r rhai a ddisgwyliant am fy
enaid a gyd-ymgynghorant,
11 Gan ddywedyd, Duw a'i gwrthododd

ef: erlidiwch a deliwch ef; canys nid *oes*
gwaredydd.
f Psal. 70. 12 [f] O Dduw, na fydd bell oddi wrthyf:
1. fy Nuw, brysia i'm cymmorth.
g Psal. 35. 13 [g] Cywilyddier *a* difether y rhai a
4, 26. a 40. wrthwynebant fy enaid: *â* gwarth ac *â*
14. a 70. 2. gwaradwydd y gorchuddier y rhai a geisiant
Adn. 24. ddrwg i mi.
14 Minnau a obeithiaf yn wastad, ac a'th
foliannaf di fwyfwy.
15 Fy ngenau a fynega dy gyfiawnder
h Psal. 40. *a'th* iachawdwriaeth beunydd: canys [h] ni
5. a 139. 17, wn rifedi *arnynt.*
18. 16 Ynghadernid yr Arglwydd Dduw y
cerddaf: dy gyfiawnder di yn unig a gofiaf
fi.
17 O'm hieuengctid y'm dysgaist, O
Dduw: hyd yn hyn y mynegais dy ryfedd-
odau.
i Adn. 9. 18 [i] Na wrthod fi chwaith, O Dduw,
† Heb. *hyd.* † mewn henaint a phen-llwydni; hyd oni
fynegwyf dy ‡ nerth i'r genhedlaeth *hon,*
‡ Heb. *fraich.* a'th gadernid i bob un a ddelo.
19 Dy gyfiawnder hefyd, O Dduw, *sydd*
uchel, yr hwn a wnaethost bethau mawrion:
k Psal. 89. pwy, [k] O Dduw, *sydd* debyg i ti?
6, 8. 20 [l] *Ti,* yr hwn a wnaethost i mi weled
l Psal. 60. aml a blin gystuddiau, a'm bywhâi drachefn,
3. ac a'm cyfodi drachefn o orddyfnder y
ddaear.
21 Amlhâi fy mawredd, ac a'm cysuri oddi
amgylch.
22 Minnau a'th foliannaf ar offeryn nabl,
*sef* dy wirionedd, O fy Nuw: canaf it' â'r
delyn, O Sanct Israel.
23 Fy ngwefusau a fyddant hyfryd pan
ganwyf i ti; a'm henaid, yr hwn a wa-
redaist.
24 Fy nhafod hefyd a draetha dy gyf-
m Adn. 13. iawnder beunydd: o herwydd [m] cywilydd-
iwyd *a* gwaradwyddwyd y rhai a geisiant
niweid i mi.

## PSALM LXXII.

1 *Dafydd, wrth weddïo dros Salomon, yn dan-*
*gos daioni a gogoniant ei deyrnas ef yn y*
*cysgod, ond mewn gwirionedd, teyrnas Crist:*
*18 yn bendithio Duw.*

¶ *Psalm* * i Salomon.

* Psal. 127. titl. O Dduw, dod i'r Brenhin dy farnedig-
1015. aethau, ac i fab y Brenhin dy gyf-
a Psal. 85. iawnder.
10. 2 Efe a farn dy bobl mewn cyfiawnder,
Esay 52. 7. a'th drueiniaid â barn.
b Adn. 7, 3 [a] Y mynyddoedd a ddygant heddwch
17. i'r bobl, a'r bryniau, trwy gyfiawnder.
Psal. 89. 36, 37. 4 Efe a farn drueiniaid y bobl, efe a
c 2 Sam. 23. achub feibion yr anghenus, ac a ddryllia'r
4. Hos. 6. 3. gorthrymmydd.
† Neu, *fr-wair.* 5 [b] Tra fyddo haul a lleuad y'th ofnant, yn
oes oesoedd.
‡ Heb. *hyd oni* 6 [c] Efe a ddisgyn fel gwlaw ar † gnu
*bo heb* gwlan; fel cawodydd yn dyfrhâu'r ddaear.
*leuad.* 7 Yn ei ddyddiau ef y blodeua'r cyf-
d Psal. 2. 8. iawn; ac amlder o heddwch fydd ‡ tra fyddo
a 80. 11. lleuad.
a 89. 25. Zech. 9. 10. 8 [d] Ac efe a lywodraetha o for hyd for,
Edrych ac o'r afon hyd derfynau y ddaear.
Exod. 23. 31. 9 O'i flaen ef yr ymgrymma trigolion yr
e Esay 49. anialwch: [e] a'i elynion a lyfant y llwch.
23. 10 [f] Brenhinoedd Tarsis a'r ynysoedd a
Michah 7. dalant anrheg: brenhinoedd Sheba a Seba a
17. ddygant rodd.
f Psal. 45. 11 Ië, 'r holl frenhinoedd a ymgrymmant
12. a 68. 29. Esay 49. 7. iddo: yr holl genhedloedd a'i gwasanaethant
a 60. 9. ef.

12 Canys efe [g] a wared yr anghenog pan g Job 29.
waeddo: y truan hefyd, a'r *hwn* ni byddo 12.
cynnorthwywr iddo.
13 Efe a arbed y tlawd a'r rheidus, ac a
achub eneidiau'r rhai anghenus.
14 Efe a wared eu henaid oddi wrth
dwyll a thrawsder: a [h] gwerthfawr fydd eu h Psal. 116.
gwaed yn ei olwg ef. 15.
15 Byw hefyd fydd efe, a rhoddir iddo o
aur Seba: gweddïant hefyd drosto ef yn
wastad: beunydd y clodforir ef.
16 Bydd dyrnaid o ŷd ar y ddaear ym
mhen y mynyddoedd: ei ffrwyth a ysgwyd
fel Libanus; a *phobl* y ddinas a flodeuant fel
gwellt y ddaear.
17 Ei enw fydd yn dragywydd: ei enw
a bery tra fyddo haul; ac [i] ymfendithiant i Gen. 12.
ynddo: yr holl genhedloedd a'i galwant yn 3. a 22. 18. Jer. 4. 2.
wynfydedig.
18 Bendigedig *fyddo*'r Arglwydd Dduw,
Duw Israel, [k] yr hwn yn unig sydd yn k Psal. 136.
gwneuthur rhyfeddodau. 4.
19 Bendigedig hefyd *fyddo* ei enw gogon-
eddus ef yn dragywydd; a'r holl ddaear a
lanwer *o'i* ogoniant. Amen, ac Amen.
20 Gorphen gweddïau Dafydd fab Jesse.

## PSALM LXXIII. } { *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Y prophwyd, wedi gorfod rhyw brofedigaeth,*
*2 ar yr achlysur hwnnw, yn dangos llwydd-*
*iant yr enwir; 13 a'r briw a gafodd efe*
*wrth hynny, sef anymddiried. 15 Ei orfod-*
*aeth, sef gwybod amcan Duw, yn difetha'r*
*annuwiol, ac yn cynnal y cyfiawn.*

¶ Psalm * Asaph.

† YN ddïau da *yw* Duw i Israel; *sef* i'r * Neu, *i Asaph.*
rhai glân o galon. Psal. 50. titl.
2 Minnau, braidd na lithrodd fy nhraed: † Neu,
prin na thripiodd fy ngherddediad. *Etto da.*
3 [a] Canys cynfigennais wrth y rhai ynfyd, a Job 21. 7.
*pan* welais lwyddiant y rhai annuwiol. Psal. 37. 1.
4 Canys nid *oes* rhwymau yn eu marwol- Jer. 12. 1.
aeth; a'u cryfder *sydd* ‡ heini. ‡ Neu,
5 Nid *ydynt* mewn blinder *fel* dynion *dirf,* neu,
*eraill;* ac ni ddïaleddir arnynt hwy gyd â *fras.*
dynion *eraill.*
6 Am hynny y cadwynodd balchder
hwynt, *ac* y gwisg trawsder am danynt *fel*
dilledyn.
7 [b] Eu llygaid a saif allan gan frasder: b Job 15.
aethant dros feddwl calon *o gyfoeth.* 27.
8 Y maent wedi llygru, [c] yn chwedleua'n Psal. 17. 10.
ddrygionus *am* drawsder; yn dywedyd yn a 119. 70.
uchel. c Hos. 7. 16.
9 Gosodasant eu genau yn erbyn y nef-
oedd: a'u tafod a gerdd trwy'r ddaear.
10 Am hynny y dychwel ei bobl ef
yma; ac y gwesgir iddynt ddwfr *phïol*
lawn.
11 Dywedant hefyd, [d] Pa fodd y gŵyr d Job 22.
Duw? a oes gwybodaeth gan y Gor- 13.
uchaf? Psal. 10. 11. a 94. 7.
12 Wele, dyma y rhai annuwiol, a'r rhai
sydd lwyddiannus yn y byd, *ac* a amlhasant
olud.
13 [e] Dïau *mai* yn ofer y glanheais fy e Job 21.
nghalon, ac [f] y golchais fy nwylaw mewn 15. a 34. 9.
diniweidrwydd. a 35. 3. Mal. 3. 14.
14 Canys ar hŷd y dydd y'm maeddwyd; f Psal. 26.
fy ngherydd *a ddeuai* bob bore. 6.
15 Os dywedwn, Mynegaf fel hyn; wele,
*â* chenhedlaeth dy blant di y gwnawn
gam.
16 Pan amcenais wybod hyn, blin *oedd*
hynny yn fy ngolwg i;

17 Hyd onid [g] aethum i gyssegr Duw: yna y deallais eu diwedd hwynt.

18 Diau [h] osod o honot hwynt mewn llithrigfa, a chwympo o honot hwynt i ddinystr.

19 Mor ddisymmwth yr aethant yn anghyfannedd! pallasant, a darfuant gan ofn.

20 [i] Fel breuddwyd wrth ddihuno *un*; *felly*, O Arglwydd, pan ddeffroech, y dirmygi eu gwedd hwynt.

21 Fel hyn y gofidiodd fy nghalon, ac y'm pigwyd yn fy arennau.

22 [k] Mor ynfyd *oeddwn*, ac heb wybod; anifail oeddwn † o'th flaen di.

23 Etto *yr ydwyf* yn wastad gyd â thi: ymaflaist yn fy llaw ddeheu.

24 A'th gyngor y'm harweini; ac wedi *hynny* y'm cymmeri i ogoniant.

25 Pwy *sydd* gennyf fi yn y nefoedd *ond tydi*? ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyd â thydi.

26 Pallodd fy nghnawd a'm calon: *ond* ‡ nerth fy nghalon [l] a'm rhan *yw* Duw yn dragywydd.

27 Canys wele, difethir y rhai a bellhânt oddi wrthyt: torraist ymaith bob un [m] a butteinio oddi wrthyt.

28 Minnau, nesâu at Dduw sydd dda i mi: yn yr Arglwydd Dduw y gosodais fy ngobaith, i draethu dy holl weithredoedd.

g Psal. 77. 13.
h Psal. 35. 6.
i Job 20. 8. Psal. 90. 5.
k Psal. 92. 6. Diar. 30. 2.
† Heb. *gyd a thi.*
‡ Heb. *craig.*
l Psal. 16. 5.
m Exod. 34. 15. Num. 15. 39. Iago 4. 4.

## PSALM LXXIV.

1 *Y prophwyd yn cwyno anrheithio'r cyssegr:* 10 *yn erfyn cymmorth gan Dduw, wrth ystyried ei allu,* 18 *a'i elynion enllibus, a'i blant a'i gyfammod.*

¶ * Maschil Asaph.

PAHAM, Dduw, y'n bwriaist heibio yn dragywydd, *ac y myga dy ddigofaint yn erbyn [a] defaid dy borfa?

2 Cofia dy gynnulleidfa *yr hon* a brynaist gynt; *a* † [b] llwyth dy etifeddiaeth *yr* ‡ *hwn* a waredaist; mynydd Sïon hwn y preswyli ynddo.

3 Dyrcha dy draed at anrhaith dragywyddol; *sef* at yr holl ddrwg a wnaeth y gelyn yn y cyssegr.

4 Dy elynion a ruasant ynghanol dy gynnulleidfaoedd; gosodasant eu banerau *yn* arwyddion.

5 Hynod oedd *gwr*, fel y codasai fwyill mewn dyrys-goed.

6 Ond yn awr y maent yn dryllio [c] ei cherfiadau ar unwaith â bwyill ac â morthwylion.

7 [d] Bwriasant dy gyssegroedd yn tân; hyd lawr yr halogasant breswylfa dy enw.

8 Dywedasant yn eu calonnau, § Cydanrheithiwn hwynt: llosgasant holl synagogau Duw yn y tir.

9 Ni welwn ein harwyddion: [e] nid *oes* brophwyd mwy, nid *oes* gennym a ŵyr pa hyd.

10 Pa hyd, Dduw, y gwarthrudda'r gwrthwynebwr? a gabla'r gelyn dy enw yn dragywydd?

11 Paham y tynni yn ei hol dy law, sef dy ddeheulaw? tyn *hi* allan o ganol dy fynwes.

12 Canys [f] Duw *yw* fy Mrenhin o'r dechreuad, gwneuthurwr iachawdwriaeth o fewn y tir.

13 [g] Ti yn dy nerth a ‖ berthaist y môr: dryliaist bennau [h] † dreigiau yn y dyfroedd.

* Neu, *Psalm i Asaph i roddi addysg.*
a Psal. 95. 7. a 100. 3.
† Neu, *gwialen.*
b Deut. 32. 9. Jer. 10. 16.
‡ *hon.*
c 1 Bren. 6. 18, 29, 32, 35.
d 2 Bren. 25. 9.
§ Heb. *Cyd-ddrylliwn neu, cyd-dorrwn.*
e 1 Sam. 3. 1. Amos 8. 11. 1 Mac. 4. 46. Luc 21. 29.
f Psal. 44. 4.
g Exod. 14. 21.
‖ Heb. *dorraist.*
h Esay 51. 9, 10. Ezec. 29. 3. a 32. 2.
† Neu, *morfeirch.*

14 Ti a ddrylliaist ben lefiathan; rhoddaist ef yn fwyd i'r bobl *yn* yr anialwch.

15 [i] Ti a holltaist y ffynnon a'r afon: [k] ti a ddyhysbyddaist afonydd cryfion.

16 Y dydd *sydd* eiddot ti, y nos hefyd *sydd* eiddot ti: [l] ti a barottoaist oleuni a haul.

17 Ti a osodaist holl derfynau'r ddaear: [m] ‡ ti a luniaist haf a gauaf.

18 [n] Cofia hyn, *i'r* gelyn gablu, O Arglwydd, ac *i'r* bobl ynfyd ddifenwi dy enw.

19 Na ddyro enaid dy durtur i gynnulleidfa'r *gelynion*: nac anghofia gynnulleidfa dy drueiniaid byth.

20 Edrych ar y cyfammod: canys llawn yw tywyll-leoedd y ddaear o drigfannau trawster.

21 Na ddychweled y § tlawd yn waradwyddus: molianned y truan a'r anghenus dy enw.

22 Cyfod, O Dduw, dadleu dy ddadl: [o] cofia dy waradwydd gan yr ynfyd beunydd.

23 Nac anghofia lais dy elynion: dadwrdd y rhai a godant i'th erbyn sydd yn dringo yn wastadol.

i Exod. 17. 5. Num. 20. 11. Psal. 105. 41. Esay 48. 21.
k Jos. 3. 13, &c.
l Gen. 1. 14, &c.
m Gen. 8. 22.
‡ Heb. *hwy a wnaethost ti hwynt.*
n Adn. 22.
§ *gorthrymmedig.*
o Adn. 18. Psal. 89. 51.

## PSALM LXXV. { *Borcol Wedai.*

1 *Y prophwyd yn moliannu Duw;* 2 *yn addaw barnu yn gyfiawn;* 4 *yn ceryddu'r beilchion, trwy ystyried rhagluniaeth Duw;* 9 *yn moliannu Duw, ac yn addaw gwneuthur cyfiawnder.*

¶ I'r Pencerdd, * Al-taschith, Psalm *neu* Gân † Asaph.

CLODFORWN dydi, O Dduw, clodforwn; canys agos *yw* dy enw; dy ryfeddodau a fynegant *hynny*.

2 Pan ‡ dderbyniwyf y gynnulleidfa, mi a farnaf yn uniawn.

3 Ymddattododd y ddaear, a'i holl drigolion: myfi sydd yn cynnal ei cholofnau. Selah.

4 Dywedais wrth y rhai ynfyd, Nac ynfydwch; ac wrth y rhai annuwiol, [a] Na ddyrchefwch *eich* corn.

5 Na ddyrchefwch eich corn yn uchel: *na* ddywedwch yn warsyth.

6 Canys nid o'r dwyrain, nac o'r gorllewin, nac o'r § dehau, *y daw* goruchafiaeth.

7 [b] Ond Duw *sydd* yn barnu; [c] efe a ostwng y naill, ac a gyfyd y llall.

8 Oblegid [d] *y mae* phïol yn llaw'r Arglwydd, a'r gwin sydd goch; [e] yn llawn cymmysg, ac efe a dywalltodd o hono: etto holl annuwiolion y tir a wasgant, *ac a* yfant ei waelodion.

9 Minnau a fynegaf yn dragywydd, *ac* a ganaf i Dduw Jacob.

10 Torraf hefyd holl [f] gyrn y rhai annuwiol; *a* [g] chyrn y rhai cyfiawn a ddyrchefir.

* Neu, *Na ddifetha, Psal. 57. titl.*
† Neu, *i Asaph.*
‡ Neu, *gymmeryf amser nodedig.*
a Zech. 1. 21.
§ Heb. *anialwch.*
b Psal. 50. 6. a 58. 11.
c 1 Sam. 2. 7.
d Job 21. 20. Psal. 60. 3. Jer. 25. 15. Dat. 14. 10. a 16. 19.
e Diar. 23. 30.
f Psal. 101. 8. Jer. 48. 25.
g Psal. 89. 17. a 148. 14.

## PSALM LXXVI.

1 *Datgan mawredd Duw yn ei eglwys.* 11 *Cyngor i'w wasanaethu ef yn barchedig.*

¶ I'r Pencerdd ar Neginoth, Psalm *neu* Gân * Asaph.

HYNOD *yw* Duw [a] yn Judah; mawr *yw* ei enw ef yn Israel.

2 Ei babell hefyd sydd yn Salem, a'i drigfa yn Sïon.

3 Yna [b] y torrodd efe saethau'r bwa, y tarian, y cleddyf hefyd a'r frwydr. Selah.

4 Gogoneddusach *wyt* a chadarnach na mynyddoedd yr yspail.

* Neu, *i Asaph.*
a Psal. 48. 1, &c.
b Psal. 46. 9. Ezec. 39. 9.

5 Yspeiliwyd y cedyrn galon, hunasant
eu hûn: a'r holl wŷr o nerth ni chawsant eu
dwylaw.
6 [c] Gan dy gerydd di, O Dduw Jacob, y
rhoed y cerbyd a'r march i gysgu.
7 Tydi, tydi, *wyt* ofnadwy; a phwy a saif
o'th flaen pan *ennyno* dy ddigter?
8 O'r nefoedd y peraist glywed barn;
ofnodd, a gostegodd y ddaear,
9 Pan gyfododd Duw i farn, i achub
holl rai llednais y tir. Selah.
10 [d] Diau cynddaredd dyn a'th folianna
di: gweddill cynddaredd a waherddi.
11 [e] Addunedwch, a thelwch i'r Arglwydd eich Duw: [f] y rhai oll ydynt o'i
amgylch ef, dygant anrheg † i'r ofnadwy.
12 Efe a dyr ymaith yspryd tywysogion:
*y mae* yn ofnadwy i frenhinoedd y ddaear.

## PSALM LXXVII.

1 *Y Psalmydd yn dangos pa ymdrech creulon
a fuasai rhyngtho ac anobaith;* 10 *a'r oruchafiaeth
a gafodd, wrth ystyried mawr a
grasusol weithredoedd Duw.*

¶ I'r Pencerdd, i [a] Jeduthun, Psalm
* Asaph.
A'M llef y gwaeddais ar Dduw, â'm
llef ar Dduw; ac efe a'm gwrandawodd.
2 Yn nydd fy nhrallod y ceisiais yr Arglwydd: fy † archoll a redodd liw nos,
ac ni pheidiodd: fy enaid a wrthododd *ei*
ddiddanu.
3 Cofiais Dduw, ac a'm cythryblwyd:
cwynais, a thertysgwyd fy yspryd. Selah.
4 Deliaist fy llygaid yn neffro: synnodd
arnaf, fel na allaf lefaru.
5 [b] Ystyriais y dyddiau gynt, blynyddoedd yr hen oesoedd.
6 Cofio yr ydwyf fy nghân y nos: [c] yr
ydwyf yn ymddiddan â'm calon; fy yspryd
sydd yn chwilio yn ddyfal.
7 Ai yn dragywydd y bwrw'r Arglwydd heibio? ac oni bydd efe boddlon
mwy?
8 A ddarfu ei drugaredd ef dros byth? a
balla *ei* addewid *ef* yn oes oesoedd?
9 A anghofiodd Duw drugarhâu? a
gauodd efe ei drugareddau mewn soriant?
Selah.
10 A dywedais, Dyma fy ngwendid:
*etto cofiaf* flynyddoedd deheulaw y Goruchaf.
11 Cofiaf weithredoedd yr Arglwydd;
ïe, cofiaf dy wŷrthiau gynt.
12 Myfyriaf hefyd ar dy holl waith, ac
am dy weithredoedd y chwedleuaf.
13 [d] Dy ffordd, O Dduw, *sydd* yn y cyssegr: pa dduw *mor* fawr a'*n* Duw *ni?*
14 Ti *yw* y Duw sydd yn gwneuthur rhyfeddodau: dangosaist dy nerth ym mysg y
bobloedd.
15 [e] Gwaredaist â'*th* fraich dy bobl, meibion Jacob a Joseph. Selah.
16 [f] Y dyfroedd a'th welsant, O Dduw,
y dyfroedd a'th welsant: hwy a ofnasant;
y dyfnderau hefyd a gynhyrfwyd.
17 Y cymmylau a ‡ dywalltasant ddwfr:
yr wybrennau a roddasant dwrf: dy saethau
hefyd a gerddasant.
18 Twrf dy daran *a glywyd* § o amgylch:
[g] mellt a oleuasant y byd; cyffrôdd a chrynodd y ddaear.
19 Dy ffordd *sydd* yn y môr, a'th lwybrau
yn y dyfroedd mawrion; ac nid adweinir
dy ôl.

[c] Exod. 15. 1, 21. Ezec. 39. 20. Nah. 3. 18. Zech. 12. 4.
[d] Edrych Exod. 9. 16. a 18. 11. Psal. 65. 7.
[e] Preg. 5. 4, 5, 6.
[f] Psal. 68. 29. a 89. 7.
† Heb. i *ofn.*
[a] Psal. 39. a 62. titl.
* Neu, i *Asaph.*
† Heb. *llaw.*
[b] Psal. 143. 5. Esay 51. 9.
[c] Psal. 4. 4.
[d] Psal. 73. 17.
[e] Exod. 6. 6.
[f] Exod. 14. 21. Psal. 114. 3. Hab. 3. 8, &c.
‡ Heb. *dywalltwyd gan ddyfr.*
§ Neu, *yn yr wybr.*
[g] Psal. 97. 4.

20 [h] Tywysaist dy bobl fel defaid, trwy
law Moses ac Aaron.

## PSALM LXXVIII. { Prydnhawnol Weddi.

1 *Cyngor i ddysgu ac i bregethu cyfraith
Dduw.* 9 *Histori digofaint Duw yn erbyn
yr anghredadwy, a'r anufudd.* 67 *Wedi
bwrw heibio'r Israeliaid, y mae Duw yn
dewis Judah, Sion, a Dafydd.*

¶ [a] Maschil Asaph.
GWRANDO fy nghyfraith, fy mhobl:
gostyngwch eich clust at eiriau fy
ngenau.
2 [b] Agoraf fy ngenau mewn dïareb: traethaf ddamhegion o'r cynfyd:
3 [c] Y rhai a glywsom ac a wybuom, ac a
fynegodd ein tadau i ni.
4 Ni chelwn rhag eu meibion, gan fynegi i'r oes a ddêl foliant yr Arglwydd,
a'i nerth, a'i ryfeddodau y rhai a wnaeth
efe.
5 Canys [d] efe a sicrhaodd dystiolaeth yn
Jacob, ac a osododd gyfraith yn Israel, y
rhai a orchymynodd efe i'n tadau [e] eu
dysgu i'w plant:
6 Fel y gwybyddai'r oes a ddêl, *sef* y
plant a enid; *a phan* gyfodent, y mynegent
*hwy* i'w plant hwythau:
7 Fel y gosodent eu gobaith ar Dduw,
heb anghofio gweithredoedd Duw, eithr
cadw ei orchymynion ef:
8 Ac na byddent fel eu tadau, [f] yn genhedlaeth gyndyn a gwrthryfelgar; yn genhedlaeth ni [g] † osododd ei chalon yn union,
ac nid yw ei hyspryd ffyddlon gyd â Duw.
9 Meibion Ephraim, yn arfog *ac* yn
saethu *â* bwa, a droisant *eu cefnau* yn nydd
y frwydr.
10 Ni chadwasant gyfammod Duw, eithr
gwrthodasant rodio yn ei gyfraith ef;
11 Ac anghofiasant ei weithredoedd a'i
ryfeddodau, y rhai a ddangosasai efe iddynt.
12 Efe a wnaethai wŷrthiau o flaen eu
tadau hwynt yn nhir yr Aipht, *ym* maes
[h] Soan.
13 [i] Efe a barthodd y môr, ac a aeth â
hwynt drwodd; [k] gwnaeth hefyd i'r dwfr
sefyll fel pentwr.
14 [l] Y dydd hefyd y tywysodd efe hwynt
â chwmmwl, ac ar hŷd y nos â goleuni tân.
15 [m] Efe a holltodd y creigiau yn yr
anialwch; a rhoddes ddïod *oddi yno* megis o
ddyfnderau dirfawr.
16 Canys efe a ddug [n] ffrydiau allan o'r
graig, ac a dynnodd i lawr megis afonydd o
ddyfroedd.
17 Er hynny 'chwanegasant etto bechu
yn ei erbyn ef, gan [o] ddigio'r Goruchaf yn
y diffaethwch.
18 A [p] themtiasant Dduw yn eu calon,
gan ofyn bwyd wrth eu blys.
19 [q] Llefarasant hefyd yn erbyn Duw;
dywedasant, A ddichon Duw ‡ arlwyo
bwrdd yn yr anialwch?
20 [r] Wele, efe a darawodd y graig, fel y
pistyllodd dwfr, ac y llifodd afonydd; a
ddichon efe roddi bara hefyd? a ddarpara
efe gig i'w bobl?
21 Am hynny y clybu'r Arglwydd, ac
[s] y digiodd: a thân a ennynodd yn erbyn
Jacob, a digofaint hefyd a gynneuodd yn
erbyn Israel;
22 Am na chredent yn Nuw, ac na obeithient yn ei iachawdwriaeth ef:

[h] Exod. 14. 19. Psal. 78. 52. Hos. 12. 13.
[a] Psal. 74. titl.
[b] Psal. 49. 4. Mat. 13. 35.
[c] Psal. 44. 1.
[d] Psal. 147. 19.
[e] Deut. 4. 9. a 6. 7. a 11. 19.
[f] Exod. 32. 9. a 33. 3. a 34. 9. Deut. 9. 6, 13. a 31. 27.
[g] Adn. 37.
† Heb. *pharottôdd ei chalon.*
[h] Gen. 32. 3. Num. 13. 22. Esay 19. 11. 13. Ezec. 30. 14.
[i] Exod. 14. 21.
[k] Exod. 15. 8.
[l] Exod. 13. 21. a 14. 24. Psal. 105. 39.
[m] Exod. 17. 6. Num. 20. 11. Psal. 105. 41. 1 Cor. 10. 4.
[n] Deut. 9. 21. Psal. 105. 41.
[o] Psal. 95. 8.
[p] Exod. 16. 2.
[q] Num. 11. 4.
‡ Heb. *drefnu.*
[r] Exod. 17. 6. Num. 20. 11. a 28. 2.
[s] Num. 11. 1, 10.

23 Er iddo ef orchymyn i'r wybrennau
oddi uchod, ac [t] agoryd drysau 'r nefoedd,
24 [u] A gwlawio manna arnynt i'w fwytta,
a rhoddi iddynt ŷd y nefoedd.
25 † Dyn a fwyttaodd fara angylion: an-
fonodd iddynt fwyd yn ddigonol.
26 [x] Gyrrodd y dwyrein-wynt yn y nef-
oedd: ac yn ei nerth y dug efe ddeheu-
wynt.
27 Gwlawiodd hefyd gig arnynt fel llwch,
ac adar asgellog fel tywod y môr.
28 Ac a wnaeth *iddynt* gwympo o fewn
eu gwersyll, o amgylch eu preswylfeydd.
29 Felly y bwyttasant, ac y llwyr-ddi- [x] Num. 11.
wallwyd hwynt; ac efe a barodd eu dy-
muniad iddynt;
30 Ni ommeddwyd hwynt o'r hyn a [y] Num. 11. 33.
flysiasant: Er hynny, [y] tra *yr ydoedd* eu ‡ Heb.
bwyd yn eu safnau,
31 Digllonedd Duw a gynneuodd yn eu
herbyn hwynt, ac a laddodd y rhai brasaf
o honynt, ac a ‡ gwympodd § etholedigion § Neu,
Israel.
32 Er hyn oll [z] pechasant etto, ac ni [z] Num. 14.
chredasant i'w ryfeddodau ef. 16. a 17.
33 Am hynny y treuliodd efe eu dyddiau [a] Edrych
hwynt mewn oferedd, a'u blynyddoedd Hos. 5. 15.
mewn dychryn. [b] Deut. 32. 4.
34 [a] Pan laddai efe hwynt, hwy a'i ceis-
ient ef, ac a ddychwelent, ac a geisient [c] Act. 8.
Dduw yn fore. [d] Esay 48. 9.
35 Cofient hefyd mai [b] Duw *oedd* eu
Craig, ac mai 'r Goruchaf Dduw *oedd* eu [e] Job 7. 7, 16.
Gwaredydd. Psal. 103. 14.
36 Er hynny, rhagrithio yr oeddynt iddo
ef â'u genau, a dywedyd celwydd wrtho â'u [f] Gen. 6. 3.
tafod: Ioan 3. 6.
37 A'u [c] calon heb fod yn uniawn gyd [g] Psal. 95.
ag ef, na'u bod yn ffyddlon yn ei gyfam- 9. 10. Esay 7. 13.
mod ef. Eph. 4. 30.
38 Er hynny efe yn drugarog a faddeuodd || Neu,
*eu* hanwiredd, ac ni ddifethodd *hwynt*: ïe, *gwrthryfelasant*
[d] trodd ymaith ei ddigofaint yn fynych, ac *i'w erbyn.*
ni chyffrôdd ei holl lid.
39 Canys [e] efe a gofiai [f] mai cnawd [h] Num. 14. 22.
*oeddynt,* a gwŷnt yn myned, ac heb ddy- † Neu,
chwelyd. *gyfyngdra.*
40 Pa sawl gwaith [g] y || digiasant ef
yn yr anialwch, *ac* y gofidiasant ef yn y [i] Psal. 105. 27, &c.
diffaethwch?
41 Ië, [h] troisant a phrofasant Dduw, ac a [k] Exod. 7. 20.
osodasant derfyn i Sanct yr Israel.
42 Ni chofiasant ei law ef, *na'r* dydd y [l] Exod. 8. 24.
gwaredodd efe hwynt oddi wrth † y gelyn. Psal. 105. 3.
43 Fel [i] y gosodasai efe ei arwyddion yn [m] Exod. 8. 6.
yr Aipht, a'i ryfeddodau ym maes Soan:
44 [k] Ac y troisai eu hafonydd yn waed; [n] Exod. 10. 13.
a'u ffrydiau, fel na allent yfed.
45 [l] Anfonodd gymmysgbla yn eu plith, Psal. 105. 34.
yr hon a'u difaodd hwynt; a [m] llyffaint i'w [o] Exod. 9. 23.
difetha.
46 [n] Ac efe a roddodd eu cnwd hwynt i'r Psal. 105. 27.
lindys, a'u llafur i'r locust.
47 [o] ‡ Distrywiodd eu gwin-wŷdd â chen- ‡ Heb. *Lladdodd.*
llysg, a'u sycomor-wŷdd â § rhew. § Neu, *chesair.*
48 || Rhoddodd hefyd eu hanifeiliaid i'r
cenllysg, a'u golud i'r mellt. || *Cauodd.*
49 Anfonodd arnynt gynddaredd ei lid, † Neu,
llidiowgrwydd, a digter, a chyfyngder, trwy *hanifeiliaid.*
anfon angylion drwg. Exod. 9. 3, 6.
50 Cymhwysodd ffordd i'w ddigofaint:
nid attaliodd eu henaid oddi wrth angau; [p] Exod. 12. 29.
ond eu † bywyd a roddodd efe i'r haint.
51 [p] Tarawodd hefyd bob cyntaf-anedig Psal. 105. 36.
yn yr Aipht; *sef* blaenion eu nerth *hwynt* [q] Psal. 106.
ym [q] mhebyll Ham: 22.

52 Ond [r] efe a yrrodd ei bobl ei hun fel [r] Psal. 77. 20.
defaid, ac a'u harweiniodd hwynt fel praidd
yn yr anialwch.
53 Tywysodd hwynt hefyd yn ddiogel,
fel nad ofnasant: a'r môr [s] a orchuddiodd [s] Exod. 14.
eu gelynion hwynt. 27, 28. a 15. 10.
54 Hwythau a ddug efe i oror ei sanct-
eiddrwydd; *i'r* mynydd hwn, [t] a ennillodd [t] Psal. 44.
ei ddeheulaw ef. 3.
55 Ac efe a yrrodd allan y cenhedloedd
o'u blaen hwynt, ac [u] a rannodd iddynt eti- [u] Jos. 13.
feddiaeth wrth linyn, ac a wnaeth i lwythau 7. Psal. 136.
Israel drigo yn eu pebyll hwynt. 21, 22.
56 Er hynny temtiasant a digiasant Dduw
Goruchaf, ac ni chadwasant ei dystiolaethau:
57 Eithr ciliasant a buant anffyddlon fel
eu tadau: troisant [x] fel bwa twyllodrus. [x] Hos. 7.
58 [y] Digiasant ef hefyd â'u huchel-fan- 16.
nau; a gyrrasant eiddigedd arno â'u cerf- [y] Deut. 32.
iedig ddelwau. 16, 21.
59 Clybu Duw *hyn,* ac a ddigiodd, ac a
ffieiddiodd Israel yn ddirfawr:
60 [z] Fel y gadawodd efe dabernacl Siloh, [z] 1 Sam. 4.
y babell a osodasai efe ym mysg dynion; 11.
61 Ac y rhoddodd ‡ ei nerth mewn caeth- Jer. 7. 12, 14. a 26.
iwed, § a'i brydferthwch yn llaw 'r gelyn. 6. 9.
62 Rhoddes hefyd ei bobl i'r cleddyf; a ‡ *ei.*
digiodd wrth ei etifeddiaeth. § *a'u*
63 Tân a ysodd eu gwŷr ieuaingc; [a] a'u *prydf.*
morwynion ni || phriodwyd. [a] Jer. 7.
64 Eu hoffeiriaid a laddwyd â'r cleddyf; 34. a 16. 9. a 25. 10.
[b] a'u gwragedd gweddwon nid wylasant. || Heb.
65 Yna [c] y deffrôdd yr Arglwydd fel un o *chanmol-*
gysgu, fel cadarn yn bloeddio gwedi gwin. *wyd.*
66 Ac [d] efe a darawodd ei elynion o'r tu [b] Job 27. 15.
ol: rhoddes iddynt warth tragywyddol. Ezec. 24.
67 Gwrthododd hefyd babell Joseph, ac 23.
ni etholodd lwyth Ephraim: [c] Psal. 44.
68 Ond efe a etholodd lwyth Judah, my- 23.
nydd Sïon, yr hwn a hoffodd. [d] 1 Sam. 5.
69 Ac a adeiladodd ei gyssegr fel *llys* 6, 12. a 6. 4.
uchel, fel y ddaear yr hon a seiliodd efe yn
dragywydd.
70 [e] Etholodd hefyd Ddafydd ei was, ac [e] 1 Sam. 16.
a'i cymmerth o gorlannau 'r defaid: 11. 2 Sam. 7. 8.
71 Oddi ar ol [f] y defaid cyfebron, y daeth [f] Gen. 33.
ag ef [g] i borthi Jacob ei bobl, ac Israel ei 13.
etifeddiaeth. Esay 40. 11.
72 Yntau a'u porthodd hwynt yn ol per- [g] 2 Sam. 5.
ffeithrwydd ei galon; ac a'u trinodd wrth 2. 1 Chron.
gyfarwyddyd ei ddwylaw. 11. 2.

## PSALM LXXIX. } { *Boreol Weddi.*

*1 Y Psalmydd yn cwyno difrod Jerusalem: 8 yn gweddio am ymwared; 13 ac yn addaw diolch.*

¶ Psalm * Asaph. * Neu, *i Asaph.*

Y Cenhedloedd, O Dduw, a ddaethant
i'th etifeddiaeth; [a] halogasant dy deml [a] Psal. 74.
sanctaidd: gosodasant Jerusalem yn gar- 7. 1 Mac. 1.
neddau. 31, 39.
2 Rhoddasant gelanedd dy weision yn
fwyd i adar y nefoedd, *a* chig dy saint i
fwystfilod y ddaear.
3 Tywalltasant eu gwaed fel dwfr o am-
gylch Jerusalem: [b] ac nid *oedd* a'u claddai. [b] Psal. 141.
4 [c] Yr ydym ni yn warthrudd i'n cym- 7. Jer. 14. 16.
mydogion; dirmyg a gwatwargerdd i'r rhai a 16. 4.
sydd o'n hamgylch. [c] Psal. 44.
5 [d] Pa hyd, Arglwydd? a ddigi di 'n 14. a 80. 6.
dragywydd? a lysg dy eiddigedd di fel [d] Psal. 89.
tân? 46.
6 [e] Tywallt dy lid ar y cenhedloedd ni'th [e] Jer. 10.
adnabuant, ac ar y teyrnasoedd ni alwasant 25.
ar dy enw.

7 Canys ysasant Jacob, ac a wnaethant ei breswylfa yn anghyfannedd.

8 [f] Na chofia 'r anwireddau gynt i'n herbyn: brysia, rhagflaened dy dostur drugareddau ni: canys llesg iawn y'n gwnaethpwyd.

9 Cynnorthwya ni, O DDUW ein iachawdwriaeth, er mwyn gogoniant dy enw: gwared ni hefyd, a thrugarhâ wrth ein pechodau, er mwyn dy enw.

10 [g] Paham y dywed y cenhedloedd, Pa le *y mae* eu Duw hwynt? bydded hyspys ym mhlith y cenhedloedd yn ein golwg ni, *wrth* ddïal gwaed dy weision *yr hwn* a dywalltwyd.

11 [h] Deued uchenaid y carcharorion ger dy fron: yn ol mawredd dy † nerth cadw blant marwolaeth.

12 A thâl i'n cymmydogion ar y seithfed [i] i'w mynwes, eu cabledd trwy 'r hon y'th gablasant di, O Arglwydd.

13 A [k] ninnau dy bobl a defaid dy borfa, a'th foliannwn di yn dragywydd: datganwn dy foliant o genhedlaeth i genhedlaeth.

f Esay 64. 9.
g Psal. 42. 10. a 115. 2.
h Psal. 102. 20.
† Heb. fraich.
i Gen. 4. 15. Esay 65. 6, 7. Jer. 32. 18. Luc 6. 38.
k Psal. 95. 7. a 100. 3.

## PSALM LXXX.

1 *Dafydd yn ei weddi yn cwyno trueni 'r eglwys.* 8 *Daioni Duw o'r blaen yn troi yn farnedigaethau.* 14 *Y mae 'n gweddïo am ymwared.*

¶ I 'r Pencerdd [a] ar Sosannim, Eduth, Psalm * Asaph.

GWRANDO, O Fugail Israel, yr hwn wyt yn arwain Joseph fel praidd; [b] ymddisgleiria, [c] yr hwn wyt yn eistedd *rhwng* y cerubiaid.

2 Cyfod dy nerth o flaen Ephraim a Benjamin a Manasseh, a thyred yn iachawdwriaeth i ni.

3 [d] Dychwel ni, O DDUW, a [e] llewyrcha dy wyneb; a ni a achubir.

4 O ARGLWYDD DDUW 'r lluoedd, pa hŷd y † sorri wrth weddi dy bobl?

5 [f] Porthaist hwynt â bara dagrau; a diodaist hwynt â dagrau wrth fesur mawr.

6 [g] Gosodaist ni yn gynnen i'n cymmydogion; a'n gelynion a'n gwatwarant yn eu mysg eu hun.

7 O DDUW 'r lluoedd, [h] dychwel ni, a llewyrcha dy wyneb; a ni a achubir.

8 Mudaist [i] winwŷdden o'r Aipht: [k] bwriaist y cenhedloedd allan, a phlennaist hi.

9 Arloesaist o'i blaen, a pheraist i'w gwraidd wreiddio, a hi a lanwodd y tir.

10 Cuddiwyd y mynyddoedd gan ei chysgod; a'i changhennau *oedd fel* cedrwŷdd ‡ rhagorol.

11 Hi a estynodd ei changau hyd y môr, a'i blagur [l] hyd yr afon.

12 Paham y [m] rhwygaist ei chaeau, fel y tynno pawb a elo heibio *ar hŷd* y ffordd *ei grawn* hi?

13 Y baedd o'r coed a'i turia, a bwystfil y maes a'i pawr.

14 O DDUW 'r lluoedd, dychwel, attolwg: [n] edrych o'r nefoedd, a chenfydd, ac ymwêl â'r winwŷdden hon;

15 A'r winllan a blannodd dy ddeheulaw, ac â'r planhigyn a gadarnheaist i ti dy hun.

16 Llosgwyd *hi* â thân; torrwyd *hi* i lawr: gan gerydd dy wyneb y difethir hwynt.

17 [o] Bydded dy law dros wr dy ddeheulaw, *a* thros fab y dyn *yr hwn* a gadarnheaist i ti dy hun.

a Psal. 45. a 60. titl.
* Neu, i Asaph.
b Deut. 33. 2. Psal. 50. 2. a 94. 1.
c Exod. 25. 20. 1 Sam. 4. 4. 2 Sam. 6. 2. Psal. 99. 1.
d Adn. 7, 19. Galar. 5. 21.
e Psal. 4. 6.
† Heb. mygi, Psal. 74. 1.
f Psal. 42. 3. a 102. 9.
g Psal. 44. 13. a 79. 4.
h Adn. 3, 19.
i Esay 5. 1, 7. Jer. 2. 21. Ezec. 17. 6.
k Psal. 44. 2.
‡ Heb. Duw.
l Psal. 72. 8.
m Psal. 89. 40, 41. Esay 5. 5. Nah. 2. 2.
n Esay 63. 15.
o Psal. 89. 21.

18 Felly ni chiliwn yn ol oddi wrthyt ti: bywhâ ni, a ni a alwn ar dy enw.

19 O ARGLWYDD DDUW 'r lluoedd, [p] dychwel ni, llewyrcha dy wyneb; a ni a achubir.

p Adn. 3, 7.

## PSALM LXXXI.

1 *Y mae'n annog i roi cyhoedd ddïolch i Dduw.* 4 *Bod Duw yn gofyn hynny o ddyled, oblegid ei ddoniau.* 8 *Duw, wrth annog i ufudd-dod, yn cwyno rhag eu hanufudddod hwy, yr hon sy niweidiol iddynt.*

¶ I'r Pencerdd ar * Gittith, *Psalm* † Asaph.

CENWCH yn llafar i DDUW ein cadernid: cenwch yn llawen i DDUW Jacob.

2 Cymmerwch psalm, a moeswch dympan, y delyn fwyn a'r nabl.

3 Udgenwch udgorn yn y lloer newydd, yn yr amser nodedig, yn nydd ein huchelwyl.

4 Canys [a] deddf *yw* hyn i Israel, *a* defod i DDUW Jacob.

5 Efe a'i gosododd *yn* dystiolaeth yn Joseph, pan aeth efe allan ‡ trwy dir yr Aipht: *lle* y clywais [b] iaith ni ddealiwn.

6 [c] Tynnais ei ysgwydd oddi wrth y baich: ei ddwylaw a ymadawsant â'r [d] crochanau.

7 [e] Mewn cyfyngder y gelwaist, ac mi a'th waredais: gwrandewais di yn nirgelwch y daran: [f] profais di wrth ddyfroedd § Meribah. Selah.

8 [g] Clyw, fy mhobl, a mi a dystiolaethaf i ti: Israel, os gwrandewi arnaf;

9 Na fydded ynot dduw arall; ac nac ymgrymma i dduw dïeithr.

10 [h] Myfi yr ARGLWYDD dy DDUW *yw*'r hwn a'th ddug di allan o dir yr Aipht: [i] lleda dy safn, a mi a'i llanwaf.

11 Ond ni wrandawai fy mhobl ar fy llef; ac Israel ni'm mynnai.

12 [k] Yna y gollyngais hwynt ynghyndynrwydd eu calon: aethant wrth eu cyngor eu hunain.

13 [l] O na wrandawsai fy mhobl arnaf; *na* rodiasai Israel yn fy ffyrdd!

14 Buan y gostyngaswn eu gelynion, ac y troiswn fy llaw yn erbyn eu gwrthwynebwŷr.

15 Caseion yr ARGLWYDD a ‖ [m] gymmerasent arnynt ymostwng iddo ef: a'u hamser hwythau fuasai 'n dragywydd.

16 [n] Bwydasai hwynt hefyd â [o] brasder gwenith: ac â mel [p] o'r graig y'th ddiwallaswn.

* Psal. 8. titl.
† Neu, i Asaph.
a Lef. 23. 24. Num. 10. 10.
‡ Neu, yn erbyn.
b Psal. 114. 1.
c Esay 9. 4. a 10. 27.
d Exod. 1. 14.
e Exod. 2. 23. a 14. 10. Psal. 50. 15
f Exod. 17. 6, 7. Num. 20. 13.
§ Neu, y gynnen.
g Psal. 50. 7.
h Exod. 20. 2.
i Psal. 37 4. Eph. 3. 20.
k Act. 7. 42. a 14. 16.
l Deut. 5. 29. a 10. 12, 13. a 32. 29. Esay 48. 18.
‖ Heb. dywedasent gelwydd.
m Psal. 18. 44. a 66. 3.
n Deut. 32. 13, 14.
o Psal. 147. 14.
p Job 29. 6.

## PSALM LXXXII. } { *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Dafydd, wedi cynghori y barnwŷr,* 5 *a cheryddu eu hesgeulusdra hwy,* 8 *yn erfyn ar Dduw farnu.*

¶ Psalm * Asaph.

DUW sydd [a] yn sefyll ynghynnulleidfa'r galluog: ym mhlith y duwiau y barn efe.

2 Pa hŷd y bernwch ar gam? ac [b] y derbyniwch wyneb y rhai annuwiol? Selah.

3 † Bernwch y tlawd a'r ymddifad: cyfiawnhêwch y cystuddiedig a'r rheidus.

4 [c] Gwaredwch y tlawd a'r anghenus: achubwch *hwynt* o law y rhai annuwiol.

5 Ni wyddant, ac ni ddeallant; mewn tywyllwch y rhodiant: holl sylfaenau y ddaear a symmudwyd o'*u* lle.

6 [d] Myfi a ddywedais, Duwiau *ydych* chwi; a meibion y Goruchaf *ydych* chwi oll.

7 Eithr [e] byddwch feirw fel dynion, ac fel un o'r tywysogion y syrthiwch.

* Neu, i Asaph.
a 2 Cron. 19. 6. Preg. 5. 8.
b Deut. 1. 17. 2 Chron. 19. 7.
† Ymddiffynnwch.
c Diar. 24. 11.
d Ioan 10. 34.
e Psal. 49. 12. Ezec. 31. 14.

8 Cyfod, O Duw, barna'r ddaear: ca-
nys ti a etifeddi'r holl genhedloedd.

## PSALM LXXXIII.

1 *Achwyn wrth Dduw rhag brad y gelyn.* 9
*Gweddi yn erbyn y rhai sy yn gorthrym-
mu'r eglwys.*

¶ Cân *neu* Psalm * Asaph.

O Duw, [a] na ostega: na thaw, ac na
fydd lonydd, O Duw.
2 Canys wele, dy elynion sydd yn ter-
fysgu; a'th gaseion yn cyfodi eu pennau.
3 Ymgyfrinachasant yn ddichellgar yn
erbyn dy bobl, ac ymgynghorasant yn er-
byn [b] dy rai dirgel di.
4 Dywedasant, Deuwch, a [c] difethwn
hwynt fel na *byddont* yn genedl; *ac* na
chofier enw Israel mwyach.
5 Canys ymgynghorasant yn † unfryd;
‡ *ac* ymwnaethant i'th erbyn.
6 [d] Pebyll Edom, a'r Ismaeliaid; y Mo-
abiaid, a'r Hagariaid;
7 Gebal, ac Ammon, ac Amalec; y Phi-
listiaid, gyd â phreswylwŷr Tyrus.
8 Assur hefyd a ymgwplysodd â hwynt:
buant fraich i blant Lot. Selah.
9 Gwna di iddynt fel i [e] Midian; megis i
[f] Sisera, megis i Jabin, wrth afon Cison:
10 Yn Endor y difethwyd *hwynt:* [g] aeth-
ant yn dail i'r ddaear.
11 Gwna eu pendefigion fel [h] Oreb, ac
fel Zeeb; a'u holl dywysogion fel [i] Zebah,
ac fel Zalmunnah:
12 Y rhai a ddywedasant, Cymmerwn i
ni gyfanneddau Duw i'w meddiannu.
13 Gosod hwynt, O fy Nuw, [k] fel olwyn;
fel sofl o flaen y gwŷnt.
14 Fel y llysg tân goed, ac fel y goddeith-
ia fflam fynyddoedd;
15 Felly erlid di hwynt â'th dymmestl, a
dychryna hwynt â'th gorwŷnt.
16 Llanw eu hwynebau â gwarth; fel y
ceisiont dy enw, O Arglwydd.
17 Cywilyddier a thralloder hwynt yn
dragywydd; ïe, gwaradwydder a difether
hwynt:
18 [l] Fel y gwypont mai tydi, yr hwn yn
unig *wyt* JEHOFAH *wrth* dy enw, *wyt* Or-
uchaf ar yr holl ddaear.

* Neu, *i Asaph.* — [a] Psal. 28. 1. a 35. 22. a 109. 1. — [b] Psal. 27. 5. a 31. 20. — [c] Jer. 11. 19. Edrych Jer. 31. 36. — † Heb. *un galon.* — ‡ a *wnaethant gyfammod.* — [d] Edrych 2 Chron. 20. 1, 10, 11. — [e] Barn. 7. 22. — [f] Barn. 4. 15, 24. a 5. 21. — [g] 2 Bren. 9. 37. Seph. 1. 17. — [h] Barn. 7. 25. — [i] Barn. 8. 12, 21. — [k] Esay 17. 13, 14. — [l] Psal. 59. 13.

## PSALM LXXXIV.

1 *Dafydd yn hiraethu am gyfundeb y cyssegr;*
*4 ac yn dangos mor ddedwydd yw y rhai sy
yn aros yndded: 8 ac yn gweddïo ar gael o
hono yntau fyned yno drachefn.*

¶ I'r Pencerdd ar * Gittith, Psalm † meib-
ion Corah.

MOR hawddgar *yw* dy bebyll di, O Ar-
glwydd y lluoedd!
2 [a] Fy enaid a hiraetha, ïe, ac a flysia am
gynteddau'r Arglwydd: fy nghalon a'm
cnawd a waeddant am y Duw byw.
3 Aderyn y to hefyd a gafodd dŷ, a'r
wennol nŷth iddi, lle y gesyd ei chywion;
*sef* dy allorau di, O Arglwydd y lluoedd,
fy Mrenhin, a'm Duw.
4 Gwŷn fyd preswylwŷr dy dŷ: yn was-
tad y'th foliannant. Selah.
5 Gwŷn ei fyd y dyn *y mae* ei gadernid
ynot; *a'th* ffyrdd yn ‡ eu calon:
6 *Y rhai* yn myned trwy ddyffryn § Bacha,
a'i gwnant yn ffynnon: a'r gwlaw a ‖ leinw'r
llynnau.
7 Ant o † nerth i nerth; ymddengys *pob*
*un* ger bron Duw yn Sïon.

* Psal. 8. a 81. titl. — † Neu, *i feibion.* 1023. — [a] Psal. 42. 1, 2. a 63. 1. a 73. 26. a 119. 20. — ‡ *ei galon.* — § *Mor-wydd.* — ‖ Heb. *orchuddia.* — † Neu, *fintai i fintai.*

8 O Arglwydd Dduw'r lluoedd, clyw
fy ngweddi: gwrando, O Dduw Jacob.
Selah.
9 O Dduw ein tarian, gwel, ac edrych ar
wyneb dy Eneiniog.
10 Canys gwell *yw* diwrnod yn dy gyn-
teddau di nâ mil: dewiswn ‡ gadw drws yn
nhŷ fy Nuw, o flaen trigo ym mhebyll an-
nuwioldeb.
11 Canys haul a [b] tharian *yw*'r Ar-
glwydd Dduw: yr Arglwydd a rydd
ras a gogoniant: [c] ni attal efe ddim daioni
oddi wrth y rhai a rodiant yn berffaith.
12 O Arglwydd y lluoedd, [d] gwŷn fyd
y dyn a ymddiried ynot.

‡ Heb. *eisteddu wrth y rhiniog.* — [b] Gen. 15. 1. Psal. 115. 9, 10, 11. a 119. 114. Diar. 2. 7. — [c] Psal. 34. 9, 10. — [d] Psal. 2. 12.

## PSALM LXXXV.

1 *Dafydd, wedi profi trugareddau Duw o'r
blaen, yn gweddïo ar iddynt barhâu: 8 ac,
o hyder ar ddaioni Duw, yn addaw disgwyl
wrthynt.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm * meibion Corah.

† GRASLAWN fuost, O Arglwydd, i'th
dir: dychwelaist gaethiwed Jacob.
2 [a] Maddeuaist anwiredd dy bobl: cudd-
iaist eu holl bechod. Selah.
3 Tynnaist ymaith dy holl lid: ‡ troaist
oddi wrth lidiowgrwydd dy ddigter.
4 Tro ni, O Dduw ein hiachawdwriaeth,
a thor ymaith dy ddigofaint wrthym.
5 Ai byth y digi wrthym? a estyni di dy
soriant hyd genhedlaeth a chenhedlaeth?
6 Oni throi di a'n bywhâu ni, fel y llawen-
ycho dy bobl ynot ti?
7 Dangos i ni, Arglwydd, dy drugar-
edd, a dod i ni dy iachawdwriaeth.
8 Gwrandawaf beth a ddywed yr Ar-
glwydd Dduw: canys [b] efe a draetha
heddwch i'w bobl, ac i'w saint: ond na
throant at ynfydrwydd.
9 Dïau *fod* ei iechyd ef yn agos i'r rhai a'i
hofnant; fel y trigo gogoniant yn ein tir ni.
10 Trugaredd a gwirionedd a ymgyfar-
fuant; [c] cyfiawnder a heddwch a ymgusan-
asant.
11 [d] Gwirionedd a dardda o'r ddaear; a
chyfiawnder a edrych i lawr o'r nefoedd.
12 Yr Arglwydd hefyd a rydd ddaioni;
[e] a'n daear a rydd ei chnwd.
13 [f] Cyfiawnder a â o'i flaen ef; ac a esyd
ei draed ef ar y ffordd.

* Neu, *i feibion,* Psal. 42. titl. — † Heb. *Boddlawn.* — [a] Psal. 32. 1. — ‡ Heb. *troaist dy ddigter rhag llidio.* — [b] Zech. 9. 10. — [c] Psal. 72. 3. Esay 32. 17. — [d] Esay 45. 8. — [e] Psal. 67. 6. — [f] Psal. 89. 14.

## PSALM LXXXVI. — *Boreol Weddi.*

1 *Dafydd yn cadarnhâu ei weddi, trwy wybod
fod ganddo ffydd; 5 trwy ddaioni a gallu
Duw: 11 yn deisyf parhâu o'r gras cyntaf.
14 Ac, wrth gwyno rhag y balch, yn erfyn
rhyw arwydd o ddaioni Duw.*

¶ * Gweddi Dafydd.

GOSTWNG, O Arglwydd, dy glust,
gwrando fi: canys truan ac anghenus
*ydwyf.*
2 Cadw fy enaid; canys † sanctaidd *yd-
wyf:* achub di dy was, O fy Nuw, yr hwn
sydd yn ymddiried ynot.
3 Trugarhâ wrthyf, Arglwydd: canys
arnat y llefaf ‡ beunydd.
4 Llawenhâ enaid dy was: canys [a] attat
ti, Arglwydd, y dyrchafaf fy enaid.
5 [b] Canys ti, O Arglwydd, *ydwyt* dda,
a maddeugar; ac o fawr drugaredd i'r rhai
oll a alwant arnat.
6 Clyw, Arglwydd, fy ngweddi; ac ym-
wrando â llais fy ymbil.
7 [c] Yn nydd fy nghyfyngder y llefaf ar-
nat: canys gwrandewi fi.

* Neu, *Psalm.* — † Neu, *un a gafodd ffafr.* — ‡ Neu, *trwy'r dydd.* — [a] Psal. 25. 1. a 143. 8. — [b] Adn. 15. Psal. 145. 9. Joel 2. 13. — [c] Psal. 50. 15.

8 d Nid *oes* fel tydi ym mysg y duwiau,
O ARGLWYDD; na *gweithredoedd* fel dy
weithredoedd di.
9 Yr holl genhedloedd y rhai a wnaethost
a ddeuant, ac a addolant ger dy fron di, O
Arglwydd; ac a ogoneddant dy enw.
10 Canys *ydwyt* fawr, ac e yn gwneuthur
rhyfeddodau: f ti yn unig *wyt* DDUW.
11 g Dysg i mi dy ffordd, O ARGLWYDD;
mi a rodiaf yn dy wirionedd: una fy ngha-
lon i ofni dy enw.
12 Moliannaf di, O Arglwydd fy Nuw,
â'm holl galon: a gogoneddaf dy enw yn
dragywydd.
13 Canys mawr *yw* dy drugaredd tu ag
attaf fi: a gwaredaist fy enaid † o uffern
‡ isod.
14 h Rhai beilchion a gyfodasant i'm her-
byn, O DDUW, a chynnulleidfa § y traws-
ion a geisiasant fy enaid; ac ni'th osodasant
di ger eu bron.
15 i Eithr ti, O Arglwydd, *wyt* DDUW
trugarog a graslawn; hwyrfrydig i lid, a
helaeth o drugaredd a gwirionedd.
16 Edrych arnaf, a thrugarhâ wrthyf:
dyro dy nerth i'th was, ac achub k fab dy
wasanaethferch.
17 Gwna i mi arwydd er daioni: fel y
gwelo fy nghaseion, ac y gwaradwydder
hwynt; am i ti, O ARGLWYDD, fy nghyn-
northwyo a'm diddanu.

d Exod. 15. 11. Deut. 3. 24. Psal. 89. 6. e Psal. 72. 18. a 77. 14. f Deut. 6. 4. a 32. 39. Esay 37. 16. a 44. 6. Marc 12. 29. 1 Cor. 8. 4. Eph. 4. 6. g Psal. 25. 4. a 27. 11. a 119. 33. a 143. 8. † Neu, o'r bedd. ‡ isaf. h Psal. 54. 3. § Heb. yr ofnadwy. i Exod. 34. 6. Num. 14. 18. Neh. 9. 17. Adn. 5. Psal. 103. 8. a 111. 4. a 130. 4, 7. a 145. 8. Joel 2. 13. k Psal. 116. 16.

## PSALM LXXXVII.

1 *Naturiaeth a gogoniant yr eglwys.* 4 *Cyn-
nydd, a pharch, a diddanwch, aelodau'r
eglwys.*

¶ Psalm *neu* Gân * meibion Corah.

EI sail *sydd* a ar y mynyddoedd sanct-
aidd.
2 b Yr ARGLWYDD a gâr byrth Sïon yn
fwy nâ holl breswylfeydd Jacob.
3 Gogoneddus bethau a ddywedir am da-
nat ti, O ddinas DDUW. Selah.
4 Cofiaf c Rahab a Babilon wrth fy
nghydnabod: wele Philistia, a Thyrus, yng-
hyd ag Ethiopia. Yno y ganwyd hwn.
5 Ac am Sïon y dywedir, Y gwr a'r gwr
a anwyd ynddi: a'r Goruchaf ei hun a'i
sicrhâ hi.
6 d Yr ARGLWYDD a gyfrif pan ysgrif-
eno'r bobl, eni hwn yno. Selah.
7 Y cantorion a'r cerddorion *a fyddant
yno:* fy holl ffynhonnau *sydd* ynot ti.

* Neu, i feibion. a Psal. 48. 11. b Psal. 78. 67, 68. c Psal. 89. 10. d Psal. 22. 30.

## PSALM LXXXVIII.

*Gweddi yn cynnwys achwyn chwerw-dost.*

¶ Psalm *neu* Gân * meibion Corah, i'r Pen-
cerdd ar Mahalath Leannoth, † Maschil
a Heman yr Ezrahiad.

O ARGLWYDD DDUW fy iachawdwriaeth,
gwaeddais o'th flaen ddydd *a* nos.
2 Deued fy ngweddi ger dy fron: gos-
twng dy glust at fy llefain.
3 Canys fy enaid a lanwyd o flinderau;
a'm heinioes a nesâ i'r beddrod.
4 b Cyfrifwyd fi gyd â'r rhai a ddisgyn-
ant i'r pwll: ydwyf fel gwr heb nerth.
5 Yn rhydd ym mysg y meirw, fel rhai
wedi eu lladd, yn gorwedd mewn bedd, y
rhai ni chofi mwy; a hwy a dorrwyd ‡ oddi
wrth dy law.
6 Gosodaist fi yn y pwll isaf, mewn ty-
wyllwch, yn y dyfnderau.
7 Y mae dy ddigofaint yn pwyso arnaf;
ac c â'th holl donnau y'*m* cystuddiaist. Selah.

* Neu, i feibion. † Neu, Psalm Heman, &c. yn rhoi athrawiaeth. a 1 Bren. 4. 31. 1 Chron. 2. 6. b Psal. 31. 12. ‡ Neu, gan. c Psal. 42. 7.

8 d Pellheaist fy nghydnabod oddi wrthyf;
gwnaethost fi yn ffieidd-dra iddynt: gwar-
chaewyd *fi*, fel nad awn allan.
9 Fy llygad a ofidiodd gan fy nghystudd:
llefais arnat, ARGLWYDD, beunydd;
e estynais fy nwylaw attat.
10 f Ai i'r meirw y gwnai ryfeddod? a
gyfyd y meirw *a'th* foliannu di? Selah.
11 A draethir dy drugaredd mewn bedd?
*a'th* wirionedd yn nistryw?
12 A adwaenir dy ryfeddod yn y tywyll-
wch? a'th gyfiawnder yn nhir angof?
13 Ond myfi a lefais arnat, ARGLWYDD;
g yn fore yr achub fy ngweddi dy flaen.
14 Paham, ARGLWYDD, y gwrthodi fy
enaid? y cuddi dy wyneb oddi wrthyf?
15 Truan *ydwyf* fi, ac ar drangcedigaeth
o'*m* hieuengctid: h dygais dy ofn, *ac* yr
ydwyf yn petruso.
16 Dy soriant a aeth drosof; dy ddychry-
nedigaethau a'm torrodd ymaith.
17 Fel dwfr y'm cylchynasant § beunydd,
*ac* y'm cyd-amgylchasant.
18 i Câr a chyfaill a yrraist ym mhell oddi
wrthyf, *a'm* cydnabod i dywyllwch.

d Job 19. 13. Psal. 31. 11. a 142. 4. e Job 11. 13. Psal. 143. 6. f Psal. 6. 5. a 30. 9. a 115. 17. a 118. 17. Esay 38. 18. g Psal. 5. 3. h Job 6. 4. § Neu, ar hyd y dydd. i Psal. 31. 11. a 38. 11.

## PSALM LXXXIX. } { *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Dafydd yn moliannu Duw am ei gyfammod,*
5 *am ei ryfeddol allu,* 14 *am ei ofal dros
ei eglwys,* 19 *am ei ffafr i frenhiniaeth
Dafydd:* 38 *yna yn cwyno am yr hyn a
ddigwyddasai yn y gwrthwyneb,* 46 *yn
ymymliw â Duw, yn ei weddio, ac yn ei
fendithio.*

¶ * Maschil a Ethan yr Ezrahiad.

TRUGAREDDAU yr ARGLWYDD a
ddatganaf byth: â'm genau y mynegaf
dy wirionedd o genhedlaeth byd genhed-
laeth.
2 Canys dywedais, Adeiledir trugaredd
yn dragywydd: b yn y nefoedd y sicrhâi dy
wirionedd.
3 Gwnaethum ammod â'm hetholedig,
c tyngais i'm gwas Dafydd.
4 d Yn dragywydd y sicrhâf dy had di;
ac e o genhedlaeth i genhedlaeth yr adeilad-
af dy orseddfaingc di. Selah.
5 f A'r nefoedd, O ARGLWYDD, a fol-
iannant dy ryfeddod; a'th wirionedd ynghyn-
nulleidfa'r saint.
6 Canys g pwy yn y nef a gystedlir â'r
ARGLWYDD? *pwy* a gyffelybir i'r AR-
GLWYDD ym mysg meibion y cedyrn?
7 h Duw sydd ofnadwy iawn ynghyn-
nulleidfa'r saint, ac i'w arswydo yn ei holl
amgylchoedd.
8 O ARGLWYDD DDUW'r lluoedd, pwy
*sydd* fel tydi, yn gadarn IOR? a'th wirionedd
o'th amgylch?
9 i Ti wyt yn llywodraethu ymchwydd y
môr: pan gyfodo ei donnau, ti a'u gostegi.
10 k Ti a ddrylliaist † yr Aipht, fel un
lladdedig: trwy ‡ nerth dy fraich y gwas-
geraist dy elynion.
11 l Y nefoedd *ydynt* eiddot ti, a'r ddaear
*sydd* eiddot ti: ti a seiliaist y byd a'i gyf-
lawnder.
12 Ti a greaist ogledd a dehau: Tabor a
Hermon a lawenychant yn dy enw.
13 Y mae i ti fraich a chadernid: cadarn
yw dy law, *ac* uchel yw dy ddeheulaw.
14 m Cyfiawnder a barn *yw* § trigfa dy
orseddfaingc: n trugaredd a gwirionedd a
ragflaenant dy wyneb.

* Neu, Psalm i Ethan, &c. i roi athrawiaeth. a 1 Bren. 4. 31. 1 Chron. 2. 6. b Psal. 119. 89. c 2 Sam. 7. 11, &c. d Adn. 29, 36. e Edrych Adn. 1. f Psal. 19. 1. g Psal. 40. 5. a 71. 19. a 86. 8. a 113. 5. h Psal. 76. 11. i Psal. 65. 7. k Exod. 14. 26. Psal. 87. 4. Esay 30. 7. † Rahab. ‡ Heb. fraich dy nerth. l Gen. 1. 1. Psal. 24. 1. a 50. 12. m Psal. 97. 2. § Neu, sicrhad. n Psal. 85. 13.

15 Gwŷn eu byd y bobl a adwaenant [o] yr hyfrydlais: yn llewyrch dy wyneb, O ARGLWYDD, y rhodiant hwy.

16 Yn dy enw di y gorfoleddant beunydd; ac yn dy gyfiawnder yr ymddyrchafant.

17 Canys godidowgrwydd eu cadernid hwynt *ydwyt* ti; ac yn dy ewyllys da [p] y dyrchefir ein corn ni.

18 Canys † yr ARGLWYDD *yw* ein tarian; a Sanct Israel *yw* ein Brenhin.

19 Yna'r ymddiddenaist mewn gweledigaeth â'th ‡ Sanct, ac a ddywedaist, Gosodais gymmorth ar *un* cadarn: dyrchefais *un* etholedig o'r bobl.

20 [q] Cefais Ddafydd fy ngwasanaethwr: enneiniais ef â'm holew sanctaidd:

21 [r] Yr hwn y sicrhêir fy llaw gyd ag ef; a'm braich a'i nertha ef.

22 [s] Ni orthrymma'r gelyn ef; a'r mab anwir ni's cystuddia ef.

23 Ac mi a goethaf ei elynion o'i flaen; a'i gaseion a darawaf.

24 [t] Fy ngwirionedd hefyd a'm trugaredd *fydd* gyd ag ef; ac [u] yn fy enw y dyrchefir ei gorn ef.

25 A [x] gosodaf ei law yn y môr, a'i ddeheulaw yn yr afonydd.

26 Efe a lefa arnaf, Ti *yw* fy Nhad, fy Nuw, a Chraig fy iachawdwriaeth.

27 Minnau a'i gwnaf yntau yn gynfab, goruwch brenhinoedd y ddaear.

28 [y] Cadwaf iddo fy nhrugaredd yn dragywydd; a'm cyfammod fydd sier iddo.

29 [z] Gosodaf hefyd ei had yn dragywydd; a'i orseddfaingc [a] fel dyddiau'r nefoedd.

30 Os ei feibion a adawant fy nghyfraith, ac ni rodiant yn fy marnedigaethau;

31 Os fy neddfau a halogant, a'm gorchymynion ni chadwant:

32 Yna [b] mi a ymwelaf â'u camwedd â gwïalen, ac â'u hanwiredd â ffrewyllau.

33 Ond ni thorraf fy nhrugaredd oddi wrtho, ac § ni phallaf o'm gwirionedd.

34 Ni thorraf fy nghyfammod, ac ni newidiaf yr hyn a ddaeth allan o'm genau.

35 Tyngais unwaith i'm sancteiddrwydd, na ddywedwn gelwydd i Ddafydd.

36 [c] Bydd ei had ef yn dragywydd, a'i orseddfaingc [d] fel yr haul ger fy mron i.

37 Sicrhêir ef yn dragywydd *fel* y lleuad, ac *fel* tyst ffyddlon yn y nef. Selah.

38 Ond ti a wrthodaist ac a ffieiddiaist, ti a ddigiaist wrth dy Enneiniog.

39 Diddymmaist gyfammod dy was; halogaist ei goron, *gan ei thaflu* i lawr.

40 [e] Drylliaist ei holl gaeau ef; gwnaethost ei ymddiffynfeydd yn adwyau.

41 Yr holl fforddolion a'i hyspeiliant ef: aeth yn warthrudd i'w gymmydogion.

42 Dyrchefaist ddeheulaw ei wrthwynebwŷr; llawenheaist ei holl elynion.

43 Troaist hefyd fin ei gleddŷf, ac ni chadarnheaist ef mewn rhyfel.

44 Peraist i'w ‖ harddwch ddarfod, a bwriaist ei orseddfaingc i lawr.

45 Byrheaist ddyddiau ei ieuengctid: toaist gywilydd drosto ef. Selah.

46 [f] Pa hŷd, ARGLWYDD, yr ymguddi? *ai* yn dragywydd? a lysg dy ddigofaint di fel tân?

47 [g] Cofia [h] pa amser sydd i mi: paham y creaist holl blant dynion yn ofer?

48 [i] Pa wr *a fydd* byw, ac ni [k] wel farwolaeth? a wared efe ei enaid o law'r bedd? Selah.

[o] Num. 10. 6. a 23. 21.
[p] Psal. 75. 10. a 132. 17. Adn. 24.
† Neu, *o'r Argl. y mae ein tarian; ac o Sanct Is. y mae ein Brenhin.*
‡ Neu, *saint.*
[q] 1 Sam. 16. 1, 2.
[r] Psal. 80. 17.
[s] 2 Sam. 7. 10.
[t] Psal. 61. 7.
[u] Adn. 17.
[x] Psal. 72. 8. a 80. 11.
[y] Esay 55. 3.
[z] Adn. 4, 36.
[a] Deut. 11. 21.
[b] 2 Sam. 7. 14.
§ Heb. *ni ddiddymmaf fy ngwirionedd.*
[c] 2 Sam. 7. 16. Adn. 4, 29. Luc 1. 33. Ioan 12. 34.
[d] Psal. 72. 5, 17.
[e] Psal. 80. 12.
‖ Heb. *ddisgleirdeb.*
[f] Psal. 79. 5.
[g] Job 7. 7.
[h] Psal. 39. 4, 5. a 119. 84.
[i] Psal. 49. 9.
[k] Heb. 11. 5.

49 Pa le *y mae* dy hen drugareddau, O ARGLWYDD, *y rhai* [l] a dyngaist i Ddafydd yn dy wirionedd?

50 Cofia, O ARGLWYDD, waradwydd dy weision, [m] *yr hwn* a ddygais yn fy mynwes *gan* yr holl bobloedd fawrion;

51 A'r hwn y gwaradwyddodd dy elynion, O ARGLWYDD; â'r hwn y gwaradwyddasant ôl troed dy Enneiniog.

52 Bendigedig *fyddo'r* ARGLWYDD yn dragywydd. Amen, ac Amen.

## PSALM XC. } { *Boreol Weddi.*

1 *Moses yn datgan rhagluniaeth Duw* 3 *yn cwyno rhag breuolder dyn,* 7 *a cheryddon Duw,* 10 *a byrred yr einioes:* 12 *ac yn gweddïo am gael gwybodaeth a phrawf o ddaionus ragluniaeth Duw.*

¶ * Gweddi Moses [a] gwr Duw.

TI, ARGLWYDD, [b] fuost yn breswylfa i ni † ym mhob cenhedlaeth.

2 [c] Cyn gwneuthur y mynyddoedd, a llunio o honot y ddaear, a'r byd; ti hefyd *wyt* DDUW, o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb.

3 Troi ddyn i ddinystr; a dywedi, [d] Dychwelwch, feibion dynion.

4 [e] Canys mil o flynyddoedd *ydynt* yn dy olwg di fel doe, wedi'r el heibio, ac *fel* gwyliadwriaeth nos.

5 Dygi hwynt ymaith megis â llifeiriant; [f] y maent *fel* hûn: y bore [g] *y maent* fel llysieuyn a newidir.

6 Y bore y blodeua, ac y tyf; prydnawn y torrir ef ymaith, ac y gwywa.

7 Canys yn dy ddig y difethwyd ni, ac yn dy lidiowgrwydd y'n brawychwyd.

8 [h] Gosodaist ein hanwiredd ger dy fron, ein [i] dirgel *bechodau* yngoleuni dy wyneb.

9 Canys ein holl ddyddiau ni a ‡ ddarfuant gan dy ddigofaint di: treuliasom ein blynyddoedd fel § chwedl.

10 ‖ Yn nyddiau ein blynyddoedd *y mae* deng mlynedd a thrugain: ac os o gryfder *y cyrheuddir* pedwar ugain mlynedd, etto eu nerth *sydd* boen a blinder; canys ebrwydd y derfydd, a ni a ehedwn ymaith.

11 Pwy a edwyn nerth dy soriant? canys fel *y mae* dy ofn, *y mae* dy ddigter.

12 [k] Dysg *i ni* felly gyfrif ein dyddiau, fel y dygom *ein* calon i ddoethineb.

13 Dychwel, ARGLWYDD, pa hŷd? ac edifarhâ o ran dy weision.

14 Diwalla ni yn fore â'th drugaredd; fel y gorfoleddom ac y llawenychom dros ein holl ddyddiau.

15 Llawenhâ ni yn ol y dyddiau y cystuddiaist ni, *a'r* blynyddoedd y gwelsom ddrygfyd.

16 Gweler dy waith tu ag at dy weision, a'th ogoniant tu ag at eu plant hwy.

17 A bydded [l] prydferthwch yr ARGLWYDD ein Duw arnom ni: a threfna weithred ein dwylaw ynom ni; ïe, trefna waith ein dwylaw.

## PSALM XCI.

1 *Cyflwr y duwiol,* 3 *a'u diogelwch,* 9 *a'u trigias;* 11 *eu gweision,* 14 *a'u caredigion; a diwedd y cwbl.*

YR hwn [a] sydd yn trigo yn nirgelwch y Goruchaf, a † erys ynghysgod yr Holl-alluog.

2 [b] Dywedaf am yr ARGLWYDD, Fy noddfa a'm hymddiffynfa *ydyw:* fy NUW; ynddo yr ymddiriedaf.

[l] 2 Sam. 7. 15. Esay 55. 3.
[m] Psal. 69. 9.
* Neu, *Psalm.*
[a] Deut. 33. 1.
[b] Deut. 33. 27. Ezec. 11. 16.
† Heb. *ynghenhedlaeth a chenhedlaeth.*
[c] Diar. 8. 25.
[d] Gen. 3. 19. Preg. 12. 7.
[e] 2 Petr 3. 8.
[f] Psal. 73. 20.
[g] Psal. 103. 15. Esay 40. 6.
[h] Psal. 50. 21.
[i] Psal. 19. 12.
‡ Heb. *droisant eu hwynebau.*
§ Neu, *myfyrdod.*
‖ Neu, *Dyddiau ein blynyddoedd, ynddynt y mae, &c.*
[k] Psal. 39. 4.
[l] Psal. 27. 4.
[a] Psal. 27. 5.
† Heb. *lettya.*
[b] Psal. 142. 5.

e Psal. 124. 7. 3 Canys c efe a'th wareda di o fagl yr
heliwr, *ac* oddi wrth haint echryslon.
d Psal. 17. 8. a 57. 1. a 61. 4. 4 d A'i asgell y cysgoda efe trosot, a than
ei adenydd y byddi diogel: ei wirionedd
*fydd* darian ac astalch *i ti.*
e Job 5. 19, &c. Psal. 121. 6. Diar. 3. 23. Esay 43. 2. 5 e Nid ofni rhag dychryn nos; *na* rhag
y saeth *a* ehedo 'r dydd:
6 *Na* rhag yr haint *a* rodio yn y tywyll-
wch; *na* rhag y dinystr *a* ddinystrio ganol
dydd.
7 Wrth dy ystlys y cwymp mil, a deng-
mil wrth dy ddeheulaw: *ond* ni ddaw yn
agos attat ti.
f Psal. 37. 34. 8 Yn unig f ti a ganfyddi â'th lygaid, ac
a weli dâl y rhai annuwiol.
9 Am i ti wneuthur yr ARGLWYDD fy
g Psal. 90. 1. noddfa, *sef* y Goruchaf, g yn breswylfa i ti;
10 Ni ddigwydd i ti niweid, ac ni ddaw
pla yn agos i'th babell.
h Psal. 34. 7. a 71. 3. Mat. 4. 6. Luc 4. 10. 11 h Canys efe a orchymyn i'w angylion
am danat ti, dy gadw yn dy holl ffyrdd.
12 Ar *eu* dwylaw y'th ddygant, i rhag
i Job 5. 23. Psal. 37. 24. taro dy droed wrth garreg.
13 Ar y llew a'r † asp y cerddi: y cenaw
† *neidr.* llew a'r ddraig a fethri.
14 Am iddo roddi ei serch arnaf, am
hynny y gwaredaf ef: am iddo adnabod
fy enw y dyrchafaf ef.
k Psal. 50. 15. 15 k Efe a eilw arnaf, a mi a'i gwran-
dawaf: mewn ing *y byddaf* fi gyd ag ef, y
gwaredaf, ac y gogoneddaf ef.
16 Digonaf ef â hir ddyddiau; a dangos-
af iddo fy iachawdwriaeth.

## PSALM XCII.

1 *Dafydd yn annog i folianny Duw,* 4 *am ei fawr weithredoedd,* 6 *am ei farnedigaethau ar yr enwir,* 10 *a'i ddaioni i'r duwiol.*

* Neu, *i'r dydd.* ¶ Psalm *neu* Gân * ar y dydd Sabboth.

a Psal. 147. 1. a DA *yw* moliannu'r ARGLWYDD, a
chanu *mawl* i'th enw di, y Gor-
uchaf:
2 A mynegi'r bore am dy drugaredd,
a'th wirionedd y nosweithiau;
3 Ar ddegtant, ac ar y nabl; *ac* ar y
† Heb. *Higgaion.* delyn † yn fyfyriol.
4 Canys llawenychaist fi, O ARGLWYDD,
â'th weithred: yngwaith dy ddwylaw y gor-
foleddaf.
b Psal. 40. 5. a 130. 17. 5 b Mor fawredig, O ARGLWYDD, yw
c Rhuf. 11. 34. dy weithredoedd! c dwfn iawn yw dy
feddyliau.
d Psal. 94. 8. 6 d Gwr annoeth ni ŵyr, a'r ynfyd ni
ddeall hyn.
e Job 12. 6. a 21. 7. Jer. 12. 1, 2. Mal. 3. 15. 7 Pan e flodeuo'r rhai annuwiol fel y
llysieuyn, a blaguro holl weithredwŷr an-
wiredd; *hynny sydd* i'w dinystrio byth byth-
oedd.
8 Tithau, ARGLWYDD, *wyt* ddyrchafedig
yn dragywydd.
9 Canys wele, dy elynion, O ARGLWYDD,
wele, dy elynion a ddifethir: gwasgerir holl
weithredwŷr anwiredd.
f Psal. 89. 17, 24. 10 Ond f fy nghorn i a ddyrchefi fel uni-
corn: ag olew îr y'm henneinir.
g Psal. 54. 7. a 59. 10. a 112. 8. 11 g Fy llygad hefyd a wêl *fy ngwynfyd*
ar fy ngwrthwynebwŷr: fy nghlustiau a
glywant *fy ewyllys* am y rhai drygionus a
gyfodant i'm herbyn.
h Esay 65. 22. Hos. 14. 5. 12 h Y cyfiawn a flodeua fel palm-wŷdd-
en; *ac* a gynnydda fel cedr-wŷdden yn
Libanus.
13 Y rhai a blannwyd yn nhŷ'r AR-
GLWYDD, a flodeuant ynghynteddoedd ein
DUW.

14 Ffrwythant etto yn *eu* henaint; tirf-
ion ac iraidd fyddant:
15 I fynegi mai uniawn *yw*'r AR- l Deut. 32. 4.
GLWYDD i fy nghraig; ac k nad *oes* an-
wiredd ynddo. k Rhuf. 9. 14.

## PSALM XCIII. { *Prydnhawnol Weddi.*

*Mawrhydi, gallu, a sancteiddrwydd teyrnas Crist.*

a YR ARGLWYDD sydd yn teyrnasu, a Psal. 96. 10. a 97. 1. a 99. 1.
b efe a wisgodd ardderchowgrwydd;
gwisgodd yr ARGLWYDD nerth, *ac* ym- Esay 52. 7.
wregysodd: y byd hefyd a sicrhawyd, fel b Psal. 104. 1.
na syflo.
2 c Darparwyd dy orseddfaingc † erioed: c Psal. 45. 6. Diar. 8. 22, &c.
ti *wyt* er tragywyddoldeb.
3 Y llifeiriaint, O ARGLWYDD, a ddyr-
chafasant, y llifeiriaint a ddyrchafasant eu † *cynt.*
twrf; y llifeiriaint a ddyrchafasant eu tonnau.
4 Yr ARGLWYDD yn yr uchelder *sydd*
gadarnach nâ thwrf dyfroedd lawer, *nâ*
chedyrn donnau y môr.
5 Sicr iawn yw dy dystiolaethau: sanct- ‡ Heb.
eiddrwydd a weddai i'th dŷ, O ARGLWYDD, *dros hir*
‡ byth. *ddyddiau.*

## PSALM XCIV.

1 *Y prophwyd, wrth alw am gyfiawnder, yn cwyno rhag trais ac annuwioldeb:* 8 *yn dysgu rhagluniaeth Duw:* 12 *yn dangos dedwyddwch cystudd.* 16 *Mai Duw yw ymddiffynnwr y cystuddiedig.*

O ARGLWYDD DDUW 'r a dial, O DDUW 'r a Deut. 32. 35.
dial, † ymddisgleiria. Nah. 1. 2.
2 b Ymddyrcha, c Farnwr y byd: tâl eu † Psal. 80. 1.
gwobr i'r beilchion.
3 Pa hŷd, ARGLWYDD, y caiff yr annuwio- b Psal. 7. 6.
lion, pa hŷd y caiff yr annuwiol orfoleddu? c Gen. 18. 25.
4 *Pa hŷd* d y siaradant *ac* y dywedant yn
galed? yr ymfawryga holl weithredwŷr an- d Psal. 31. 18.
wiredd? Judas 15.
5 Dy bobl, ARGLWYDD, a ddrylliant;
a'th etifeddiaeth a gystuddiant.
6 Y weddw a'r dieithr a laddant, a'r ym-
ddifad a ddïeneidiant.
7 e Dywedant hefyd, Ni wêl yr AR- e Psal. 10. 11, 13. a 59. 7.
GLWYDD; ac nid ystyria DUW Jacob *hyn.*
8 f Ystyriwch, chwi rai annoeth ym mysg f Psal. 73. 22. a 92. 6.
y bobl: ac ynfydion, pa bryd y deallwch?
9 g Oni chlyw 'r hwn a blannodd y glust? g Exod. 4. 11.
oni wêl yr hwn a luniodd y llygad? Diar. 20. 12.
10 Oni cherydda'r hwn a gospa'r cen-
hedloedd? *oni ŵyr* yr hwn sydd yn dysgu
gwybodaeth i ddyn?
11 h Gŵyr yr ARGLWYDD feddyliau dyn, h 1 Cor. 3. 20.
mai gwagedd *ydynt.*
12 i Gwyn *ei* fyd y gwr a geryddi di, O i 1 Cor. 11. 32.
ARGLWYDD, ac a ddysgi yn dy gyfraith: Heb. 12. 5, &c.
13 I beri iddo lonydd oddi wrth ddyddiau
drygfyd, hyd oni chloddier ffos i'r annuwiol.
14 k Canys ni ad yr ARGLWYDD ei bobl, k 1 Sam. 12. 22. Rhuf. 11. 1, 2.
ac ni wrthyd efe ei etifeddiaeth.
15 Eithr barn a ddychwel at gyfiawnder:
a'r holl rai uniawn o galon a ant ar ei ol.
16 Pwy a gyfyd gyd â mi yn erbyn y rhai
drygionus? pwy a saif gyd â mi yn erbyn
gweithredwŷr anwiredd?
17 Oni *buasai*'r ARGLWYDD yn gym-
morth i mi, braidd na thrigasai fy enaid
mewn distawrwydd.
18 Pan ddywedais, Llithrodd fy nhroed:
dy drugaredd di, O ARGLWYDD, a'm cyn-
haliodd.
19 Yn amlder fy meddyliau o'm mewn,
dy ddiddanwch di a lawenycha fy enaid.
20 A l fydd cyd-ymdeithas i ti â gorsedd- l Amos 6. 3.

faingc anwiredd, yr hon [m] a lunia anwiredd yn lle cyfraith?

21 Yn finteioedd y deuant yn erbyn enaid y cyfiawn, a gwaed gwirion a farnant yn euog.

22 Eithr yr ARGLWYDD sydd yn ymddiffynfa i mi; a'm Duw *yw* craig fy nodded.

23 Ac [l] efe a dâl iddynt eu hanwiredd, ac a'u tyr ymaith yn eu drygioni: yr ARGLWYDD ein Duw a'u tyr hwynt ymaith.

## PSALM XCV. *Boreol Weddi.*

1 *Cyngor i foliannu Duw,* 3 *o herwydd ei fawredd,* 6 *a'i ddaioni;* 8 *ac na themtier ef.*

DEUWCH, canwn i'r ARGLWYDD: [a] ymlawenhâwn † yn nerth ein hiechyd.

2 ‡ Deuwn ger ei fron ef â diolch: canwn yn llafar iddo â psalmau.

3 Canys [b] yr ARGLWYDD *sydd* DDUW mawr, a Brenhin mawr goruwch yr holl dduwiau.

4 Yr hwn *y mae* gorddyfnderau 'r ddaear yn ei law, § ac uchelderau 'r mynyddoedd yn eiddo.

5 Y môr *sydd* eiddo, ac efe a'i gwnaeth: a'i ddwylaw a luniasant y sychdir.

6 Deuwch, addolwn, ac ymgrymmwn: gostyngwn ar ein gliniau ger bron yr ARGLWYDD ein Gwneuthurwr.

7 Canys efe *yw* ein Duw ni; a [c] ninnau *ŷm* bobl ei borfa, a defaid ei law. [d] Heddyw, os gwrandêwch ar ei leferydd,

8 Na chaledwch eich calonnau, [e] megis yn || yr ymrysonfa, fel *yn* nydd profedigaeth yn yr anialwch:

9 Pan [f] demtiodd eich tadau fi, y profasant fi, ac y gwelsant fy ngweithredoedd.

10 Deugain mlynedd yr ymrysonais â'r genhedlaeth *hon,* a dywedais, Pobl gyfeiliornus yn *eu* calon *ydynt* hwy, ac nid adnabuant fy ffyrdd:

11 Wrth y rhai y tyngais yn fy llid, † na ddelent i'm gorphwysfa.

## PSALM XCVI.

1 *Cyngor i glodfori Duw,* 4 *am ei fawredd,* 8 *a'i frenhiniaeth,* 11 *a'i farn gyffredinol.*

[a] CENWCH i'r ARGLWYDD ganiad newydd: cenwch i'r ARGLWYDD, yr holl ddaear.

2 Cenwch i'r ARGLWYDD, bendigwch ei enw; cyhoeddwch o ddydd i ddydd ei iachawdwriaeth ef.

3 Datgenwch ym mysg y cenhedloedd ei ogoniant ef, ym mhlith yr holl bobloedd ei ryfeddodau.

4 Canys [b] mawr *yw*'r ARGLWYDD, a [c] chanmoladwy iawn: [d] ofnadwy *yw* efe goruwch yr holl dduwiau.

5 Canys [e] holl dduwiau 'r bobloedd *ydynt* eilunod: ond yr ARGLWYDD a wnaeth y nefoedd.

6 Gogoniant a harddwch *sydd* o'i flaen ef; nerth a hyfrydwch *sydd* yn ei gyssegr.

7 Tylwythau 'r bobl, rhoddwch i'r ARGLWYDD, rhoddwch i'r ARGLWYDD ogoniant a nerth.

8 [f] Rhoddwch i'r ARGLWYDD ogoniant ei enw: dygwch offrwm, a deuwch i'w gynteddoedd.

9 Addolwch yr ARGLWYDD † [g] mewn

[m] Psal. 58. 2. Esay 10. 1.
[l] Psal. 7. 16.
[a] Psal. 100. 1.
† Heb. *ynghraig.*
‡ Heb. *Rhagflaenwn ei wyneb ef.*
[b] Psal. 96. 4. a 97. 9. a 135. 5.
§ Neu, *a nerth y.*
[c] Psal. 79. 13. a 80. 1. a 100. 3.
[d] Heb. 3. 7. a 4. 7.
[e] Exod. 17. 2, 7. Num. 14. 22, &c. a 20. 13. Deut. 6. 16.
|| Heb. *y gynnen.*
[f] Psal. 78. 18, 40, 56. 1 Cor. 10. 9.
† Heb. *os deuant.*
[a] 1 Chron. 16. 23. Psal. 33. 3.
[b] Psal. 145. 3.
[c] Psal. 18. 3.
[d] Psal. 95. 3.
[e] Edrych Jer. 10. 11, 12.
[f] Psal. 29. 1, 2.
† Neu, *yn y cyssegr prydferth.*
[g] Psal. 29. 2. a 110. 3.

prydferthwch sancteiddrwydd: yr holl ddaear, ofnwch ger ei fron ef.

10 Dywedwch ym mysg y cenhedloedd, [h] Yr ARGLWYDD sydd yn teyrnasu; a'r byd a sicrhaodd efe, fel nad ysgogo: efe a farna 'r bobl yn uniawn.

11 [i] Llawenhâed y nefoedd, a gorfoledded y ddaear; [k] rhued y môr a'i gyflawnder.

12 Gorfoledded y maes, a'r hyn oll *y sydd* ynddo: yna holl breniau 'r coed a ganant

13 O flaen yr ARGLWYDD: canys y mae yn dyfod, canys y mae'n dyfod i farnu 'r ddaear: [l] efe a farna 'r byd trwy gyfiawnder, a'r bobloedd â'i wirionedd.

## PSALM XCVII.

1 *Mawrhydi teyrnas Dduw.* 7 *Yr eglwys yn llawenychu o herwydd barnedigaethau Duw ar ddelw-addolwŷr.* 10 *Cyngor i dduwioldeb a llawenydd.*

[a] YR ARGLWYDD sydd yn teyrnasu; gorfoledded y ddaear: llawenyched ynysoedd † lawer.

2 [b] Cymmylau a thywyllwch *sydd* o'i amgylch ef: [c] cyfiawnder a barn *yw* ‡ trigfa ei orseddfaingc ef.

3 Tân a â allan o'i flaen ef, ac a lysg ei elynion o amgylch.

4 [d] Ei fellt a lewyrchasant y byd: y ddaear a welodd, ac a grynodd.

5 [e] Y mynyddoedd a doddasant fel cwyr o flaen yr ARGLWYDD, o flaen Arglwydd yr holl ddaear.

6 [f] Y nefoedd a fynegant ei gyfiawnder ef, a'r holl bobl a welant ei ogoniant.

7 [g] Gwaradwydder y rhai oll a wasanaethant ddelw gerfiedig, y rhai a ymffrostiant mewn eilunod: [h] addolwch ef, yr holl dduwiau.

8 Sïon a glywodd, ac a lawenychodd; a merched Judah a orfoleddasant, o herwydd dy farnedigaethau di, O ARGLWYDD.

9 Canys ti, ARGLWYDD, *wyt* oruchel goruwch yr holl ddaear: [i] dirfawr y'th ddyrchafwyd goruwch yr holl dduwiau.

10 Y rhai a gerwch yr ARGLWYDD, [k] casêwch ddrygioni: efe sydd yn cadw eneidiau ei saint; efe a'u gwared o law y rhai annuwiol.

11 [l] Hauwyd goleuni i'r cyfiawn, a llawenydd i'r rhai uniawn o galon.

12 Y rhai cyfiawn, [m] llawenychwch yn yr ARGLWYDD; a moliennwch wrth goffadwriaeth ei sancteiddrwydd ef.

## PSALM XCVIII. *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Dafydd yn annog yr Iuddewon,* 4 *a'r cenhedloedd,* 7 *a'r holl greaduriaid, i glodfori Duw.*

¶ Psalm.

[a] CENWCH i'r ARGLWYDD ganiad newydd: canys efe a wnaeth *bethau* rhyfedd: [b] ei ddeheulaw a'i fraich sanctaidd a barodd iddo fuddugoliaeth.

2 [c] Hyspysodd yr ARGLWYDD ei iachawdwriaeth: datguddiodd ei gyfiawnder yngolwg y cenhedloedd.

3 Cofiodd ei drugaredd a'i wirionedd i dŷ Israel: holl derfynau 'r ddaear a welsant iachawdwriaeth ein Duw ni.

4 Cenwch yn llafar i'r ARGLWYDD, yr holl ddaear: llefwch, ac ymlawenhêwch, a chenwch.

5 Cenwch i'r ARGLWYDD gyd â'r delyn; gyd â'r delyn, a llef psalm.

[h] Psal. 93. 1. a 97. 1.
[i] Psal. 69. 34.
[k] Psal. 98. 7, &c.
[l] Psal. 67. 4. Dat. 19. 11.
[a] Psal. 96. 10.
† Neu, *mawrion.*
[b] 1 Bren. 8. 12. Psal. 18. 11.
[c] Psal. 89. 14.
‡ Neu, *sicrhâd.*
[d] Psal. 77. 18. a 104. 32.
[e] Barn. 5. 5. Mic. 1. 4. Nah. 1. 5.
[f] Psal. 19. 1. a 50. 6.
[g] Exod. 20. 4. Lef. 26. 1. Deut. 5. 8.
[h] Heb. 1. 6.
[i] Psal. 95. 3. a 96. 4.
[k] Psal. 34. 14. a 101. 3. Amos 5. 15. Rhuf. 12. 9.
[l] Psal. 112. 4.
[m] Psal. 33. 1.
[a] Psal. 33. 3. a 96. 1. Esay 42. 10. a 43. 5.
[b] Esay 59. 16. a 63. 5.
[c] Esay 52. 10.

6 Ar udgyrn a sain cornet cenwch yn llafar o flaen yr ARGLWYDD y Brenhin.

7 [d] Rhued y môr a'i gyflawnder; y byd a'r rhai a drigant o'i fewn.
d Psal. 96. 11, &c.

8 Cured y llifeiriaint *eu* dwylaw; *a* chydganed y mynyddoedd

9 O flaen yr ARGLWYDD: canys y mae 'n dyfod i farnu 'r ddaear: efe a farna 'r byd â chyfiawnder, a'r bobloedd ag uniondeb.

## PSALM XCIX.

1 *Dafydd yn gosod allan deyrnas Duw yn Sion; 5 ac yn annog pawb, wrth esampl yr hen dadau, i addoli Duw yn ei fynydd sanctaidd.*

YR [a] ARGLWYDD sydd yn teyrnasu; cryned y bobloedd: [b] eistedd y mae *rhwng* y cerubiaid; ymgynhyrfed y ddaear.
a Psal. 93. 1.
b Exod. 25. 22. Psal. 80. 1.

2 Mawr *yw*'r ARGLWYDD yn Sïon, a dyrchafedig *yw* efe goruwch yr holl bobloedd.

3 Moliannant dy enw mawr ac ofnadwy; *canys* sanctaidd *yw*.

4 A [c] nerth y Brenhin a hoffa farn: ti a sicrhêi uniondeb, barn a chyfiawnder a wnai di yn Jacob.
c Job 36. 5.

5 [d] Dyrchefwch yr ARGLWYDD ein Duw, ac ymgrymmwch o flaen [e] ei 'stoldraed ef: *canys* sanctaidd *yw*.
d Adn. 9.
e 1 Chron. 28. 2.

6 [f] Moses ac Aaron ym mhlith ei offeiriaid ef; a Samuel ym mysg y rhai a alwant ar ei enw: galwasant ar yr ARGLWYDD, ac efe a'u gwrandawodd hwynt.
f Jer. 15. 1.

7 [g] Llefarodd wrthynt yn y golofn gwmwl: cadwasant ei dystiolaethau, a'r ddeddf a roddodd efe iddynt.
g Exod. 33. 9.

8 Gwrandewaist arnynt, O ARGLWYDD ein Duw: Duw oeddit yn eu harbed, ïe, pan [h] ddïelit am eu dychymygion.
h Edrych Exod. 32. 2. Num. 20. 12, 24. Deut. 9. 20.

9 [i] Dyrchefwch yr ARGLWYDD ein Duw, ac ymgrymmwch ar ei fynydd sanctaidd: canys sanctaidd *yw*'r ARGLWYDD ein Duw.
i Adn. 5.

## PSALM C.

1 *Cyngor i foliannu Duw yn llawen-hyfryd, 3 am ei fawredd, 4 ac am ei allu.*

¶ [a] Psalm * o foliant.
a Psal. 145. titl.
* Neu, *o ddiolch.*

CENWCH [b] yn llafar i'r ARGLWYDD, yr holl ddaear.
b Psal. 95. 1.

2 Gwasanaethwch yr ARGLWYDD mewn llawenydd: deuwch o'i flaen ef â chân.

3 Gwybyddwch mai'r ARGLWYDD *sydd* DDUW: [c] efe a'n gwnaeth, ac † nid ni ein hunain: [d] ei bobl ef *ydym*, a defaid ei borfa.
c Psal. 119. 73. a 139. 13, &c. a 149. 2. Eph. 2. 10.
† Neu, *eiddo ef ydym.*
d Psal. 95. 7. Ezec. 34. 30, 31.

4 [e] Ewch i mewn i'w byrth ef â dïolch, *ac* i'w gynteddau â mawl: dïolchwch iddo, *a* bendithiwch ei enw.
e Psal. 66. 13.

5 Canys da *yw*'r ARGLWYDD: [f] ei drugaredd *sydd* yn dragywydd; a'i wirionedd hyd genhedlaeth a chenhedlaeth.
f Psal. 136. 1, &c.

## PSALM CI.

*Dafydd yn gwneuthur addunedd a phroffes o dduwioldeb.*

¶ Psalm Dafydd.

CANAF am drugaredd a barn: i ti, ARGLWYDD, y canaf.

2 Byddaf ddeallus mewn ffordd berffaith. Pa bryd y deui attaf? rhodiaf mewn perffeithrwydd fy nghalon o fewn fy nhŷ.

3 Ni osodaf ddim † anwir o flaen fy llygaid: [a] cas gennyf waith [b] y rhai cildynnus; ni lŷn wrthyf fi.
† Neu, *i'r fall.* Heb. *Belial.*
a Psal. 97. 10.
b Psal. 125. 5.

4 Calon gyndyn a gilia oddi wrthyf: nid adnabyddaf *ddyn* drygionus.

5 Torraf ymaith yr hwn a enllibio ei gymmydog yn ddirgel: [c] yr uchel o olwg, a'r balch ei galon, ni allaf ei ddïoddef.
c Psal. 18. 27. Diar. 6. 17.

6 Fy llygaid *fydd* ar ffyddloniaid y tir, fel y trigont gyd â mi: yr hwn a rodio ‡ mewn ffordd berffaith, hwnnw a'm gwasanaetha i.
‡ Neu, *yn berffaith yn y ffordd.*

7 Ni thrig o fewn fy nhŷ yr un a wnelo dwyll: ni § thrig yn fy ngolwg yr un a ddywedo gelwydd.
§ Heb. *sicrhêir.*

8 [d] Yn fore y torraf ymaith holl annuwiolion y tir, i ddiwreiddio holl weithredwŷr anwiredd o ddinas yr ARGLWYDD.
d Psal. 75. 10. Jer. 21. 12.

## PSALM CII. { *Boreol Weddi.*

1 *Y prophwyd yn ei weddi yn cwyno yn chwerw-dost: 12 yn cymmeryd cysur o dragywyddoldeb a thrugaredd Duw. 18 Bod yn rhaid cadw coffa o drugareddau Duw. 23 Y mae yn attegu ei wendid ag anghyfnewidiolder Duw.*

¶ Gweddi * 'r cystuddiedig, pan fyddo mewn blinder, ac yn tywallt ei gŵyn ger bron yr ARGLWYDD.
* Neu, *i'r.*

ARGLWYDD, clyw fy ngweddi, a deled fy llef attat.

2 [a] Na chudd dy wyneb oddi wrthyf yn nydd fy nghyfyngder, gostwng dy glust attaf: yn y dydd y galwyf, brysia, gwrando fi.
a Psal. 27. 9. a 69. 17.

3 Canys fy nyddiau a ddarfuant † fel mŵg, [b] a'm hesgyrn a boethasant fel aelwyd.
† Neu, *yn fŵg.*
b Job 30. 30.

4 Fy nghalon a darawyd, ac a wywodd fel llysieuyn; fel yr anghofiais fwytta fy mara.

5 Gan lais fy nhuchan y glynodd [c] fy esgyrn wrth fy ‡ nghnawd.
c Job 19. 20. Galar. 4. 8.
‡ *nghroen.*

6 [d] Tebyg wyf i belican yr anialwch: ydwyf fel dylluan y diffaethwch.
d Job 30. 29.

7 Gwyliais, ac ydwyf fel aderyn y to, unig ar ben y tŷ.

8 Fy ngelynion a'm gwaradwyddant beunydd: y rhai a ynfydant wrthyf, a dyngasant yn fy erbyn.

9 Canys bwytteais ludw fel bara, a [e] chymmysgais fy nïod ag wylofain;
e Psal. 42. 3. a 80. 5.

10 O herwydd dy lid di a'th ddigofaint: canys codaist fi i fynu, a theflaist fi i lawr.

11 [f] Fy nyddiau *sydd* fel cysgod yn cilio; a [g] minnau fel glas-welltyn a wywais.
f Psal. 109. 23. a 144. 4. Preg. 6. 12.
g Esay 40. 6. Iago 1. 10.

12 [h] Tithau, ARGLWYDD, a barhêi yn dragywyddol, a'th [i] goffadwriaeth hyd genhedlaeth a chenhedlaeth.
h Galar. 5. 19.
i Psal. 135. 13.

13 Ti a gyfodi, *ac* a drugarhêi wrth Sïon: canys yr amser i drugarhâu wrthi, ïe, 'r amser nodedig, a ddaeth.

14 Oblegid y mae dy weision yn hoffi [k] ei meini, ac yn tosturio wrth ei llwch hi.
k Psal. 79. 1.

15 Felly'r cenhedloedd a ofnant enw'r ARGLWYDD, a holl frenhinoedd y ddaear dy ogoniant.

16 Pan adeilado'r ARGLWYDD Sïon, y gwelir ef yn ei ogoniant.

17 Efe a edrych ar weddi 'r gwael, ac ni ddïystyrodd eu dymuniad.

18 Hyn a 'sgrifenir i'r genhedlaeth a ddêl: [l] a'r bobl a greïr a foliannant yr ARGLWYDD.
l Psal. 22. 31. Esay 43. 21.

19 Canys [m] efe a edrychodd o uchelder
m Psal. 14. 2. a 33. 13.

ei gyssegr: yr ARGLWYDD a edrychodd o'r nefoedd ar y ddaear;

n Psal. 79. 11.
20 n I wrando ucheneid y carcharorion; ac i ryddhâu plant angau;

21 I fynegi enw 'r ARGLWYDD yn Sïon, a'i foliant yn Jerusalem:

22 Pan gasgler y bobl ynghŷd, a'r teyrnasoedd i wasanaethu 'r ARGLWYDD.

† Heb. Cystuddiodd.
23 † Gostyngodd efe fy nerth ar y ffordd; byrhaodd fy nyddiau.

24 Dywedais, Fy NUW, na chymmer fi ymaith ynghanol fy nyddiau: dy flynyddoedd di *sydd* yn oes oesoedd.

o Heb. 1. 10.
25 o Yn y dechreuad y seiliaist y ddaear; a'r nefoedd *ydynt* waith dy ddwylaw.

p Esay 51. 6. a 65. 17. a 66. 22. Rhuf. 8. 20. 2 Petr 3. 7, 10, 11.
‡ Heb. sefi.
26 p Hwy a ddarfyddant, a thi a ‡ barhei: ïe, hwy oll a heneiddiant fel dilledyn; fel gwisg y newidi hwynt, a hwy a newidir.

27 Tithau 'r un *ydwyt*, a'th flynyddoedd ni ddarfyddant.

q Psal. 69. 36.
28 q Plant dy weision a barhânt, a'u had a sicrhëir ger dy fron di.

## PSALM CIII.

1 *Cyngor i fendithio Duw, am ei drugaredd,* 15 *a'i ddianwadalwch.*

¶ *Psalm* Dafydd.

a Psal. 104. 1. a 146. 1.
FY enaid, a bendithia 'r ARGLWYDD; a chwbl sydd ynof, ei enw sanctaidd ef.

2 Fy enaid, bendithia 'r ARGLWYDD; ac nac anghofia ei holl ddoniau ef:

b Psal. 130. 8. Mat. 9. 2, 6. Marc 2. 11. Luc 7. 47.
3 b Yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau; yr hwn sydd yn iachâu dy holl lesgedd:

c Psal. 5. 12.
4 Yr hwn sydd yn gwaredu dy fywyd o ddistryw: yr c hwn sydd yn dy goroni â thrugaredd ac â thosturi:

d Esay 40. 31.
5 Yr hwn sydd yn diwallu dy enau â daioni; d *fel* yr adnewyddir dy ieuengctid fel yr eryr.

e Psal. 146. 7.
6 e Yr ARGLWYDD sydd yn gwneuthur cyfiawnder a barn i'r *rhai* gorthrymmedig oll.

f Psal. 147. 19.
7 f Hyspysodd ei ffyrdd i Moses; ei weithredoedd i feibion Israel.

g Exod. 34. 6, 7. Num. 14. 18. Deut. 5. 10. Neh. 9. 17. Psal. 86. 15. Jer. 32. 18.
8 g Trugarog a graslawn *yw* 'r ARGLWYDD; hwyrfrydig i lid, a mawr o drugarowgrwydd.

h Psal. 30. 5. Esay 57. 16. Jer. 3. 5. Michah 7. 18.
9 h Nid byth yr ymryson efe: ac nid byth y ceidw efe *ei ddigofaint.*

i Ezra 9. 13.
10 i Nid yn ol ein pechodau y gwnaeth efe â ni; ac nid yn ol ein hanwireddau y talodd efe i ni.

11 Canys cyfuwch ag yw 'r nefoedd uwchlaw 'r ddaear, y rhagorodd ei drugaredd ef ar y rhai a'i hofnant ef.

12 Cyn belled ag yw 'r dwyrain oddi wrth y gorllewin, y pellhaodd efe ein camweddau oddi wrthym.

k Mal. 3. 17.
13 k Fel y tosturia tad wrth *ei* blant, *felly* y tosturia 'r ARGLWYDD wrth y rhai a'i hofnant ef.

l Psal. 78. 39.
14 Canys efe a edwyn ein defnydd ni: l cofia mai llwch *ydym.*

m Psal. 90. 5.
n Job 14. 1, 2. Iago 1. 10, 11.
15 m Dyddiau dyn *sydd* fel glas-welltyn: n megis blodeuyn y maes, felly y blodeua efe.

o Job 7. 10. a 20. 9.
16 Canys y gwŷnt a â drosto, ac ni bydd mwy o hono; o a'i le nid edwyn ddim o hono ef mwy.

p Exod. 20. 6. Deut. 7. 9.
17 Ond trugaredd yr ARGLWYDD *sydd* o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb, ar y rhai a'i hofnant ef; a'i gyfiawnder p i blant *eu* plant;

18 I'r sawl a gadwant ei gyfammod ef, ac a gofiant ei orchymynion i'w gwneuthur.

19 Yr ARGLWYDD a barottôdd ei orseddfa yn y nefoedd: a'i frenhiniaeth ef sydd yn llywodraethu ar bob peth.

20 q Bendithiwch yr ARGLWYDD, ei angylion ef, r cedyrn o nerth, yn gwneuthur ei air ef, gan wrando ar leferydd ei air ef. q Psal. 148. 2. r Edrych Psal. 78. 25.

21 Bendithiwch yr ARGLWYDD, ei holl luoedd ef; s ei holl weision yn gwneuthur ei ewyllys ef. s Heb. 1. 14.

22 Bendithiwch yr ARGLWYDD, ei holl weithredoedd ef, ym mhob man o'i lywodraeth: fy enaid, bendithia 'r ARGLWYDD.

## PSALM CIV. } { *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Myfyrdod ar gadarn allu,* 7 *a rhyfeddol ragddarbodaeth Duw.* 31 *Bod gogoniant Duw yn dragywyddol.* 33 *Y prophwyd yn adduno moliannu Duw yn ddibaid.*

FY enaid, bendithia 'r ARGLWYDD. O ARGLWYDD fy NUW, tra mawr ydwyt; a gwisgaist ogoniant a harddwch. a Psal. 93. 1.

2 Yr hwn wyt yn gwisgo goleuni fel dilledyn: *ac* b yn tanu 'r nefoedd fel llen. b Esay 40. 22. a 45. 12.

3 c Yr hwn sy 'n gosod tŷlathau ei 'stafelloedd yn y dyfroedd; d yn gwneuthur y cymmylau yn gerbyd iddo; *ac* e yn rhodio ar adenydd y gwynt. c Amos 9. 6. d Esay 19. 1.

4 f Yr hwn sydd yn gwneuthur ei genhadon yn ysprydion; *a'i* weinidogion yn dân fflamllyd. e Psal. 18. 10.

5 g Yr *hwn* a seiliodd y ddaear ar ei sylfeini, *fel* na symmudo byth yn dragywydd. f Heb. 1. 7. g Job 26. 7. a 38. 4. Psal. 24. 2. a 136. 6.

6 h Toaist hi â'r gorddyfnder, megis â gwisg: y dyfroedd a safent goruwch y mynyddoedd. h Gen. 7. 19.

7 i Gan dy gerydd di y ffoisant: rhag swn dy daran y prysurasant ymaith. i Gen. 8. 1.

8 † Gan y mynyddoedd yr ymgodant: ar hŷd y dyffrynoedd y disgynant, i'r lle a seiliaist iddynt. † Neu, *Y mynyddoedd a ymgodant, a'r dyffrynoedd a ddisgynant.*

9 k Gosodaist derfyn, fel nad elont drosodd; l fel na ddychwelont i orchuddio 'r ddaear.

10 Yr hwn a yrr y ffynhonnau i'r dyffrynoedd, *y rhai* a gerddant rhwng y bryniau. k Psal. 33. 7. Jer. 5. 22. l Gen. 9. 11, 15.

11 Dïodant holl fwystfilod y maes: yr asynod gwŷllltion a dorrant eu syched.

12 Adar y nefoedd a drigant ger llaw iddynt, *y rhai* a leisiant oddi rhwng y cangau.

13 m Y mae efe 'n dyfrhâu 'r bryniau o'i 'stafelloedd: n y ddaear a ddigonir o ffrwyth dy weithredoedd. m Psal. 147. 8. n Psal. 65. 9.

14 o Y mae yn peri i'r gwellt dyfu i'r anifeiliaid, a llysiau i wasanaeth dyn: fel y dycco fara allan o'r ddaear: o Gen. 1. 29, 30. a 3. 18. a 9. 3.

15 A p gwin, *yr hwn* a lawenycha galon dyn; *ac* ‡ olew, i beri i'w wyneb ddisgleirio; a bara, *yr hwn* a gynnal galon dyn. p Barn. 9. 13. Psal. 23. 5. Diar. 31. 6, 7.

16 Preniau 'r ARGLWYDD sydd lawn *sugn:* cedr-wŷdd Libanus, q y rhai a blannodd efe; ‡ Heb. *beri i'w wyneb ddisgleirio ag olew,* neu, *yn fwy nac olew.*

17 Lle y nytha 'r adar: y ffynnid-wŷdd *yw* tŷ 'r ciconia.

18 Y mynyddoedd uchel *sydd* noddfa i'r geifr; *a'r* creigiau i'r cwningod. q Num. 24. 6.

19 r Efe a wnaeth y lleuad i amserau nodedig: yr haul a edwyn ei fachludiad. r Gen. 1. 14.

20 [s] Gwnai dywyllwch, a nos fydd: † ynddi yr ymlusga pob bwystfil coed.

21 [t] Y cenawon llewod a ruant am ysglyfaeth, ac a geisiant eu bwyd gan DDUW.

22 *Pan* godo haul, ymgasglant, a gorweddant yn eu llochesau.

23 Dyn a â allan i'w waith, ac i'w orchwyl hyd yr hwyr.

24 Mor lïosog yw dy weithredoedd, O ARGLWYDD! gwnaethost hwynt oll mewn doethineb: llawn yw'r ddaear o'th gyfoeth.

25 *Felly y mae*'r môr mawr, llydan: yno *y mae* ymlusgiaid heb rifedi, bwystfilod bychain a mawrion.

26 Yno'r â'r llongau: *yno y mae*'r lefiathan, *yr hwn* a luniaist i chwarae ynddo.

27 [u] Y rhai hyn oll a ddisgwyliant wrthyt; am roddi *iddynt* eu bwyd yn ei bryd.

28 A roddech iddynt, a gasglant: agori dy law, a diwellir hwynt â daioni.

29 Ti a guddi dy wyneb, hwythau a drallodir: [x] dygi ymaith eu hanadl, *a* threngant, a dychwelant i'w llwch.

30 [y] *Pan* ollyngych dy yspryd, y creïr hwynt; ac yr adnewyddi wyneb y ddaear.

31 Gogoniant yr ARGLWYDD fydd yn dragywydd: yr ARGLWYDD a lawenycha yn ei weithredoedd.

32 Efe a edrych ar y ddaear, a hi a gryna: [z] *efe* a gyffwrdd â'r mynyddoedd, a hwy a fygant.

33 [a] Canaf i'r ARGLWYDD tra fyddwyf fyw: canaf i'm DUW tra fyddwyf.

34 Bydd melus fy myfyrdod am dano: mi a lawenychaf yn yr ARGLWYDD.

35 Darfydded y pechaduriaid o'r tir, na fydded yr annuwiolion mwy. Fy enaid, bendithia di'r ARGLWYDD. Molwch yr ARGLWYDD.

s Esay 45. 7.
† Heb. *y mae ei holl fwystfilod yn ymlusgo yn y coed.*
t Job 38. 39. Joel 1. 20.
u Psal. 136. 25. a 145. 15. a 147. 9.
x Job 34. 14, 15. Psal. 146. 4. Preg. 12. 7.
y Esay 32. 15. Ezec. 37. 9.
z Psal. 144. 5.
a Psal. 63. 4. a 146. 2.

## PSALM CV. } { *Boreol Weddi.*

1 *Cyngor i foliannu Duw, ac i chwilio allan ei weithredoedd ef.* 7 *Histori rhagluniaeth Duw tu ag at Abraham,* 16 *a Joseph,* 23 *a Jacob yn yr Aipht,* 26 *a Moses yn gwaredu'r Israeliaid,* 37 *a'r Israeliaid wedi eu dwyn allan o'r Aipht, yn eu porthi hwy yn yr anialwch, ac yn eu plannu yngwlâd Canaan.*

[a] CLODFORWCH yr ARGLWYDD; gelwch ar ei enw: mynegwch ei weithredoedd ym mysg y bobloedd.

2 Cenwch iddo, canmolwch ef: ymddiddenwch am ei holl ryfeddodau ef.

3 Gorfoleddwch yn ei enw sanctaidd: llawenyched calon y rhai a geisiant yr ARGLWYDD.

4 Ceisiwch yr ARGLWYDD a'i nerth: ceisiwch ei wyneb ef bob amser.

5 Cofiwch ei ryfeddodau y rhai a wnaeth efe; ei wyrthiau, a barnedigaethau ei enau;

6 Chwi had Abraham ei was ef, chwi meibion Jacob ei etholedigion.

7 Efe *yw*'r ARGLWYDD ein DUW ni: ei farnedigaethau ef *sydd* trwy'r holl ddaear.

8 Cofiodd ei gyfammod byth, y gair a orchymynodd efe i fil o genhedlaethau:

9 [b] Yr hyn a ammododd efe ag Abraham, a'i lw i Isaac;

10 A'r *hyn* a osododd efe yn ddeddf i Jacob, *ac yn* gyfammod tragywyddol i Israel;

a 1 Chron. 16. 8. Esay 12. 4.
b Gen. 17. 2. a 22. 16, &c. a 26. 3. a 28. 13. a 35. 11. Luc 1. 73. Heb. 6. 17.

11 Gan ddywedyd, [c] I ti y rhoddaf dir Canaan, † rhandir eich etifeddiaeth.

12 [d] Pan oeddynt ychydig o rifedi, ïe, ychydig, a [e] dïeithriaid ynddi:

13 Pan rodient o genhedlaeth i genhedlaeth, o'r *naill* deyrnas at bobl arall:

14 [f] Ni adawodd i neb eu gorthrymmu: ïe, [g] ceryddodd frenhinoedd o'u plegid;

15 *Gan ddywedyd,* Na chyffyrddwch â'm rhai enneiniog, ac na ddrygwch fy mhrophwydi.

16 [h] Galwodd hefyd am newyn ar y tir: *a* ‡ dinystriodd holl § i gynhaliaeth bara.

17 [k] Anfonodd wr o'u blaen hwynt, [l] Joseph, *yr hwn* a werthwyd yn was.

18 [m] Cystuddiasant ei draed ef mewn gefyn: ei enaid a aeth mewn heiyrn:

19 Hyd yr amser y daeth ei air ef: gair yr ARGLWYDD a'i profodd ef.

20 [n] Y brenhin a anfonodd, ac a'i gollyngodd ef; llywodraethwr y bobl, ac a'i rhyddhaodd ef.

21 [o] Gosododd ef yn arglwydd ar ei dŷ, ac yn llywydd ar ei holl ‖ gyfoeth:

22 I rwymo ei dywysogion ef wrth ei ewyllys; ac i ddysgu doethineb i'w henuriaid ef.

23 [p] Aeth Israel hefyd i'r Aipht; a Jacob a ymdeithiodd [q] yn nhir Ham.

24 Ac [r] efe a gynnyddodd ei bobl yn ddirfawr; ac a'u gwnaeth yn gryfach nâ'u gwrthwynebwŷr.

25 [s] Trodd eu calon hwynt i gasâu ei bobl ef, i wneuthur yn ddichellgar â'i weision.

26 [t] Efe a anfonodd Moses ei was; *ac* Aaron, yr hwn a ddewisasai.

27 [u] Hwy a ddangosasant † ei arwyddion ef yn eu plith hwynt, a rhyfeddodau yn nhir Ham.

28 [x] Efe a anfonodd dywyllwch, ac a dywyllodd; ac [y] nid ‡ anufuddhasant hwy ei air ef.

29 [z] Efe a drodd eu dyfroedd yn waed, ac a laddodd eu pysgod.

30 [a] Eu tir a heigiodd lyffaint yn ystafelloedd eu brenhinoedd.

31 [b] Efe a ddywedodd, a daeth cymmysgbla, *a* llau yn eu holl fro hwynt.

32 [c] Efe a § wnaeth eu gwlaw hwynt yn genllysg, *ac* yn fflammau tân yn eu tir.

33 Tarawodd hefyd eu gwinwŷdd, a'u ffigyswŷdd; ac a ddrylliodd goed eu gwlad hwynt.

34 [d] Efe a ddywedodd, a daeth y locustiaid, a'r lindys, yn aneirif;

35 Y rhai a fwyttasant yr holl laswellt yn eu tir hwynt, ac a ddifasant ffrwyth eu daear hwynt.

36 [e] Tarawodd hefyd bob cyntaf-anedig yn eu tir hwynt, [f] blaen-ffrwyth eu holl nerth hwynt.

37 [g] Ac a'u dug hwynt allan ag arian ac aur; ac heb *un* llesg yn eu llwythau.

38 [h] Llawenychodd yr Aipht pan aethant allan: canys syrthiasai eu harswyd arnynt hwy.

39 [i] Efe a danodd gwmmwl yn do, a thân i oleuo liw nos.

40 [k] Gofynasant, ac efe a ddug soflieir: ac [l] a'u diwallodd â bara nefol.

41 [m] Efe a holltodd y graig, a'r dyfroedd a ddylifodd; cerddasant ar hyd lleoedd sychion *yn* afonydd.

c Gen. 13. 15. a 15. 18.
† Heb. *llinyn.*
d Gen. 34. 30. Deut. 7. 7. a 26. 5.
e Heb. 11. 9.
f Gen. 35. 5.
g Gen. 12. 17. a 20. 3, 7.
h Gen. 41. 54.
‡ *Heb.* *thorrodd.*
§ *ffon.*
i Lef. 26. 26. Esay 3. 1. Ezec. 4. 16.
k Gen. 45. 5. a 50. 20.
l Gen. 37. 28.
m Gen. 39. 20. a 40. 15.
n Gen. 41. 14.
o Gen. 41. 40.
‖ Heb. *feddiant.*
p Gen. 46. 6.
q Psal. 106. 22.
r Exod. 1. 7.
s Exod. 1. 8, &c.
t Exod. 3. 10. a 4. 12, 14.
u Exod. 7. 9. Psal. 78. 34, &c.
† Heb. *eiriau ei.*
x Exod. 10. 22.
y Psal. 99. 7.
‡ Neu, *oeddynt ufudd i'w air ef.*
z Exod. 7. 20.
a Exod. 8. 6.
b Exod. 8. 17, 24.
c Exod. 9. 23.
§ Heb. *roddes.*
d Exod. 10. 4, 13.
e Exod. 12. 29. Psal. 78. 51.
f Gen. 49. 3.
g Exod. 12. 35.
h Exod. 12. 33.
i Exod. 13. 21.
k Exod. 16. 12, &c.
l Psal. 78. 24, 25.
m Exod. 17. 6. Num. 20. 11. Psal. 78. 15. 1 Cor. 10. 4.

42 Canys efe a gosododd [n] ei air sanctaidd,
*ac* Abraham ei was.
43 Ac a ddug ei bobl allan mewn llawen-
ydd; ei etholedigion mewn † gorfoledd.
44 [o] Ac a roddes iddynt diroedd y ce-
nhedloedd: a meddiannasant lafur y bobl-
oedd.
45 [p] Fel y cadwent ei ddeddfau ef, ac y
cynhalient ei gyfreithiau. Molwch yr Ar-
glwydd.

[n] Gen. 15. 14. † Heb. *cân*. [o] Deut. 6. 10, 11. Jos. 3. 17. [p] Deut. 4. 1, 40. a 6. 21–25.

## PSALM CVI. { *Pryanhawnol Weddi.*

*1 Y Psalmydd yn annog i foliannu Duw: 4 yn gweddio am faddeuant pechodau, megis y gwnaeth Duw â'r tadau. 7 Histori o wrthryfelgarwch y bobl, a thrugaredd Duw. 47 Y mae efe yn diweddu â gweddi ac â moliant.*

† MOLWCH yr Arglwydd. [a] [b] Clod-
forwch yr Arglwydd; canys da
*yw*: o herwydd ei drugaredd *a bery* yn dra-
gywydd.
2 Pwy a draetha nerthoedd yr Ar-
glwydd? *ac* a fynega ei holl fawl ef?
3 Gwyn eu byd a gadwant farn, *a'r* hwn
a wnel gyfiawnder bob amser.
4 [c] Cofia fi, Arglwydd, yn ol *dy* ra-
slonrwydd i'th bobl; ymwêl â mi â'th
iachawdwriaeth.
5 Fel y gwelwyf ddaioni dy etholedigion,
fel y llawenychwyf yn llawenydd dy ge-
nedl di, fel y gorfoleddwyf gyd â'th eti-
feddiaeth.
6 [d] Pechasom gyd â'n tadau; gwnaethom
gamwedd, anwireddus fuom.
7 Ein tadau ni ddeallasant dy ryfeddodau
yn yr Aipht, ni chofiasant liosowgrwydd
dy drugareddau; [e] eithr gwrthryfelgar fuont
wrth y môr, *sef* y môr coch.
8 Etto efe a'u hachubodd hwynt er mwyn
ei enw, [f] i beri adnabod ei gadernid.
9 [g] Ac a geryddodd y môr coch, fel y
sychodd efe: a [h] thywysodd hwynt trwy'r
dyfnder, megis trwy'r anialwch.
10 Achubodd hwynt hefyd o law *eu* dig-
asog; ac a'u gwaredodd o law y gelyn.
11 [i] A'r dyfroedd a doisant eu gwrthwy-
nebwŷr; ni adawyd un o honynt.
12 [k] Yna y credasant ei eiriau ef; canas-
ant ei fawl ef.
13 [l] ‡ Yn y fan yr anghofiasant ei weith-
redoedd ef; ni ddisgwyliasant am ei gyngor
ef:
14 [m] Eithr blysiasant § yn ddirfawr yn yr
anialwch; a themtiasant Dduw yn y di-
ffaethwch.
15 [n] Ac efe a roddes eu dymuniad idd-
ynt; eithr efe a anfonodd gulni i'w hen-
aid.
16 [o] Cynfigennasant hefyd wrth Moses
yn y gwersyll, *ac* wrth Aaron sant yr Ar-
glwydd.
17 [p] Y ddaear a agorodd, ac a lyngcodd
Ddathan, ac a orchuddiodd gynnulleidfa
Abiram.
18 [q] Cynneuodd tân hefyd yn eu cyn-
nulleidfa hwynt: fflam a losgodd y rhai an-
nuwiol.
19 [r] Llo a wnaethant yn Horeb; ac ym-
grymmasant i'r ddelw dawdd.
20 Felly [s] y troisant eu gogoniant i lun
eidion yn pori glaswellt.
21 Anghofiasant Dduw eu Hachubwr, yr
hwn a wnelsai bethau mawrion yn yr
Aipht;

† Heb. *Halelujah*. [a] 1 Chron. 16. 34. [b] Psal. 107. 1. a 118. 1. a 136. 1. [c] Psal. 119. 132. [d] 1 Bren. 8. 47. Dan. 9. 5. [e] Exod. 14. 11, 12. [f] Exod. 9. 16. [g] Exod. 14. 21. [h] Esay 63. 11, 12, 13. [i] Exod. 14. 27. a 15. 5. [k] Exod. 14. 31. a 15. 1. [l] Exod. 15. 24. a 17. 2. ‡ Heb. *Hwy a frysiasant, ac a anghof. &c.* [m] Num. 11. 4, 33. Psal. 78. 18. 1 Cor. 10. 6. § Heb. *flys yn yr.* [n] Num. 11. 31. [o] Num. 16. 1, &c. [p] Num. 16. 31. Deut. 11. 6. [q] Num. 16. 35, 46. [r] Exod. 32. 4. [s] Jer. 2. 11. Rhuf. 1. 23.

22 Pethau rhyfedd [t] yn nhir Ham; peth-
au ofnadwy wrth y môr coch.
23 [u] Am hynny y dywedodd y dinystriai
efe hwynt, oni buasai i Moses ei etholedig
[x] sefyll ar yr adwy o'i flaen ef; i droi ymaith
ei lidiowgrwydd ef, rhag eu dinystrio.
24 Diystyrasant hefyd [y] y tir dymunol:
ni chredasant ei air ef:
25 [z] Ond grwgnachasant yn eu pebyll;
*ac* ni wrandawsant ar lais yr Arglwydd.
26 [a] Yna y dyrchafodd efe ei law yn eu
herbyn hwynt, i'w cwympo yn ‖ yr anial-
wch;
27 [b] Ac i gwympo eu had ym mysg y
cenhedloedd; ac i'w gwasgaru yn y tir-
oedd.
28 [c] Ymgyssylltasant hefyd â Baal-peor,
a bwyttasant ebyrth y meirw.
29 Felly y digiasant *ef* â'u dychymygion
eu hun; ac y tarawodd pla yn eu mysg
hwy.
30 [d] Yna y safodd Phinees, ac a iawn-
farnodd: a'r pla a attaliwyd.
31 A chyfrifwyd *hyn* iddo yn gyfiawnder,
o genhedlaeth i genhedlaeth byth.
32 [e] Llidiasant *ef* hefyd wrth ddyfroedd
y gynnen; fel y bu ddrwg i Moses o'u
plegid hwynt:
33 O herwydd cythruddo o honynt ei
yspryd ef, fel y cam-ddywedodd â'i we-
fusau.
34 [f] Ni ddinystriasant y bobloedd, [g] am
y rhai y dywedasai'r Arglwydd wrth-
ynt:
35 [h] Eithr ymgymmysgasant â'r ce-
nhedloedd; a dysgasant eu gweithredoedd
hwynt:
36 A gwasanaethasant eu delwau hwynt;
[i] y rhai a fu yn fagl iddynt.
37 [k] Aberthasant hefyd eu meibion a'u
merched i gythreuliaid,
38 Ac a dywalltasant waed gwirion, *sef*
gwaed eu meibion a'u merched, y rhai a
aberthasant i ddelwau Canaan: [l] a'r tir a
halogwyd â gwaed.
39 Felly 'r ymhalogasant yn eu gweithred-
oedd eu hun, ac [m] y putteiniasant gyd â'u
dychymygion.
40 Am hynny y cynneuodd dig yr Ar-
glwydd yn erbyn ei bobl, fel y ffieidd-
iodd efe ei etifeddiaeth.
41 Ac efe a'u rhoddes hwynt yn llaw'r
cenhedloedd; a'u caseion a lywodraeth-
asant arnynt.
42 Eu gelynion hefyd a'u gorthrymma-
sant; a darostyngwyd hwynt dan eu dwy-
law hwy.
43 [n] Llawer gwaith y gwaredodd efe
hwynt; hwythau a'i digiasant *ef* â'u cyng-
hor eu hun, a hwy a † wanhychwyd am eu
hanwiredd.
44 Etto efe a edrychodd pan oedd ing
arnynt, pan [o] glywodd eu llefain hwynt.
45 [p] Ac efe a gofiodd ei gyfammod â
hwynt, ac a edifarhaodd yn ol lliosowg-
rwydd ei drugareddau:
46 [q] Ac a wnaeth iddynt gael trugaredd
gan y rhai oll a'u caethiwai.
47 [r] Achub ni, O Arglwydd ein Duw,
a chynnull ni o blith y cenhedloedd, i glod-
fori dy enw sanctaidd, *ac* i orfoleddu yn dy
foliant.
48 Bendigedig *fyddo* Arglwydd Dduw
Israel erioed ac yn dragywydd: a dyweded
yr holl bobl, Amen. Molwch yr Ar-
glwydd.

[t] Psal. 78. 51. a 105. 23, 27. [u] Exod. 32. 10, 11, 32. Deut. 9. 19. a 10. 10. [x] Ezec. 13. 5. a 22. 30. [y] Jer. 3. 19. [z] Num. 14. 2. [a] Num. 14. 28. Psal. 95. 11. Ezec. 20. 15. ‖ *y diffaethwch*. [b] Psal. 44. 11. Ezec. 20. 23. [c] Num. 25. 2, 3. a 31. 16. Deut. 32. 17. Hos. 9. 10. Diar. 14. 15. Dat. 2. 14. [d] Num. 25. 7. [e] Num. 20. 3, 13. Deut. 3. 26. [f] Barn. 1. 21, 27. [g] Deut. 7. 2. [h] Barn. 2. 2. a 3. 5, 6. [i] Exod. 23. 33. Deut. 7. 16. [k] 2 Bren. 16. 3. Esay 57. 5. Ezec. 16. 20. a 20. 26. 1 Cor. 10. 20. [l] Num. 35. 33. [m] Lef. 17. 7. Num. 15. 39. [n] Barn. 2. 16. † Neu, *dlodwyd*. [o] Barn. 3. 9. a 4. 3. a 6. 7. a 10. 10. [p] Deut. 30. 3. [q] Ezra 9. 9. Jer. 42. 12. [r] 1 Chron. 16. 35, 36.

## PSALM CVII. } { *Boreol Weddi.*

1 *Dafydd yn annog y gwaredigion, wrth glodfori Duw, i ystyried ei amryw ragluniaeth ef,* 4 *tu ag at fforddolion,* 10 *a chaethion,* 17 *a rhai cleifion,* 23 *a morwŷr,* 33 *ac yn amrafael ddamweiniau y bywyd hwn.*

a Psal. 106. 1. a 118. 1. a 136. 1. [a] CLODFORWCH yr ARGLWYDD; canys
da *yw:* o herwydd ei drugaredd *sydd*
yn dragywydd.
2 *Felly* dyweded gwaredigion yr AR-
GLWYDD, y rhai a waredodd efe o law y
gelyn;
3 Ac a gasglodd efe o'r tiroedd, o'r dwy-
rain, ac o'r gorllewin, o'r gogledd, ac o'r
† Heb. *môr.* † dehau.
4 Crwydrasant yn yr anialwch mewn
ffordd ddisathr, heb gael dinas i aros ynddi:
5 Yn newynog ac yn sychedig, eu henaid
a lewygodd ynddynt.
b Adn. 13, 19, 28. Hos. 5. 15. 6 [b] Yna y llefasant ar yr ARGLWYDD yn
eu cyfyngder; *ac* efe a'u gwaredodd o'u
gorthrymderau.
7 Ac a'u tywysodd hwynt ar hŷd y ffordd
uniawn, i fyned i ddinas gyfanneddol.
c Adn. 15, 21, 31. 8 [c] O na foliannent yr ARGLWYDD
*am* ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion
dynion!
9 Canys efe a ddiwalla'r enaid sychedig,
ac a leinw'r enaid newynog â daioni.
10 Y rhai a breswyliant yn y tywyllwch
d Job 36. 8. a chysgod angau, [d] yn rhwym mewn cys-
tudd a haiarn;
11 O herwydd anufuddhâu o honynt
e Psal. 73. 24. a 119. 24. eiriau Duw, a dirmygu [e] cynghor y Gor-
uchaf.
12 Am hynny yntau a ostyngodd eu
calon â blinder: syrthiasant, ac nid *oedd*
cynnorthwywr.
f Adn. 6, 19, 28. 13 [f] Yna y gwaeddasant ar yr AR-
GLWYDD yn eu cyfyngder; *ac* efe a'u
hachubodd o'u gorthrymderau.
g Psal. 68. 6. a 146. 7. 14 [g] Dug hwynt allan o dywyllwch a
chysgod angau; a drylliodd eu rhwymau
hwynt.
h Adn. 8, 21, 31. 15 [h] O na foliannent yr ARGLWYDD *am*
ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion dynion!
16 Canys efe a dorrodd y pyrth pres, ac
a ddrylliodd y barrau heiyrn.
17 Ynfydion, oblegid eu camweddau, ac
o herwydd eu hanwireddau, a gystuddir.
i Job 33. 20. 18 [i] Eu henaid a ffieiddiai bob bwyd; a
[k] daethant hyd byrth angau.
k Psal. 9. 13. a 88. 3. 19 [l] Yna y gwaeddasant ar yr AR-
l Adn. 6, 13, 28. GLWYDD yn eu cyfyngder; *ac* efe a'u ha-
chubodd o'u gorthrymderau.
m Psal. 147. 15, 20. Mat. 8. 8. 20 [m] Anfonodd ei air, ac iachaodd hwynt,
ac a'u gwaredodd o'u dinystr.
n Adn. 8, 15, 31. 21 [n] O na foliannent yr ARGLWYDD
*am* ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion
o Lef. 7. 12. Psal. 50. 14. Heb. 13. 15. dynion!
22 [o] Aberthant hefyd aberth moliant; a
mynegant ei weithredoedd ef mewn ‡ gor-
‡ Heb. *cân.* foledd.
23 Y rhai a ddisgynant mewn llongau i'r
môr, gan wneuthur eu gorchwyl mewn dy-
froedd mawrion.
24 Hwy a welant weithredoedd yr AR-
GLWYDD, a'i ryfeddodau yn y dyfnder.
25 Canys efe a orchymyn, a chyfyd
tymmestl-wynt, yr hwn a ddyrchafa ei
donnau ef.
p Psal. 22. 14. a 119. 28. Nah. 2. 10. 26 Hwy a esgynant i'r nefoedd, disgyn-
ant i'r dyfnder: [p] tawdd eu henaid gan
flinder.
27 Ymdroant, ac ymsymmudant fel medd-
wyn: a'u holl ddoethineb a § ballodd. § Heb. *lyngcwyd.*
28 [q] Yna y gwaeddant ar yr ARGLWYDD
yn eu cyfyngder; ac efe a'u dwg allan o'u q Adn. 6, 13, 19.
gorthrymderau.
29 [r] Efe a wna'r ystorm yn dawel; a'i r Mat. 8. 26.
thonnau a ostegant.
30 Yna y llawenhânt am eu gostegu; ac
efe a'u dwg i'r porthladd a ddymunent.
31 [s] O na foliannent yr ARGLWYDD *am* s Adn. 8, 15, 21.
ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion dynion!
32 A dyrchafant ef yngbynnulleidfa'r
bobl, a moliannant ef yn eisteddfod yr
henuriaid.
33 Efe a wna afonydd yn ddiffaethwch,
a ffynhonnau dyfroedd yn sychdir;
34 *A* thir ffrwythlawn yn ‖ ddiffrwyth, ‖ Heb. *halltineb.*
am ddrygioni'r rhai a drigant ynddo.
35 [t] Efe a dry'r anialwch yn llyn dwfr, t Psal. 114. 8.
a'r tir cras yn ffynhonnau dwfr. Esay 41. 18.
36 Ac yno y gwna i'r newynog aros; fel
y darparont ddinas i gyfanneddu:
37 Ac yr hauont feusydd, ac y plannont
winllannoedd, y rhai a ddygant ffrwyth u Exod. 1. 7.
toreithiog.
38 [u] Ac efe a'u bendithia hwynt fel yr x Job 12. 21, 24.
amlhânt yn ddirfawr, ac ni ad i'w hanifeil-
iaid leihâu. † Neu, *gwag le.*
39 Lleiheir hwynt hefyd, a gostyngir y 1 Sam. 2. 8.
hwynt, gan gyfyngder, drygfyd, a chyni.
40 [x] Efe a dywallt ddirmyg ar foneddig- Psal. 113. 7, 8.
ion, ac a wna iddynt grwydro mewn † an-
ialwch heb ffordd. ‡ Neu, *ar ol cystudd.*
41 [y] Ond efe a gyfyd y tlawd ‡ o gystudd,
ac [z] a wna *iddo* deuluoedd fel praidd. z Psal. 63. 6.
42 [a] Y rhai uniawn a welant *hyn,* ac a a Job 22. 19.
lawenychant: a phob [b] anwiredd a gau ei b Job 5. 16.
safn. Diar. 10. 11.
43 [c] Y neb *sydd* ddoeth, ac a gadwo c Jer. 9. 12.
hyn, hwy a ddeallant drugareddau'r AR- Hos. 14. 9.
GLWYDD.

## PSALM CVIII. } { *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Dafydd yn ymwroli i foliannu Duw:* 5 *yn gweddïo am gymmorth Duw yn ol ei addewid.* 11 *Ei hyder ef ar gynhorthwy Duw.*

¶ Cân *neu* Psalm Dafydd.

[a] PAROD yw fy nghalon, O DDUW: can- a Psal. 57. 7, &c.
af a chanmolaf â'm gogoniant.
2 Deffro, y nabl a'r delyn: minnau a
ddeffroaf yn fore.
3 Clodforaf di, ARGLWYDD, ym mysg
y bobloedd: canmolaf di ym mysg y cen-
hedloedd.
4 Canys mawr *yw* dy drugaredd oddi ar
y nefoedd: a'th wirionedd *a gyrraedd* hyd
yr wybren.
5 [b] Ymddyrcha, O DDUW, uwch y nefoedd: b Psal. 57. 5. 11.
a bydded dy ogoniant ar yr holl ddaear;
6 [c] Fel y gwareder dy rai anwyl: achub c Psal. 60. 5, &c.
â'th ddeheulaw, a gwrando fi.
7 Duw a lefarodd yn ei sancteiddrwydd,
Llawenychaf, rhannaf Sichem, a mesuraf
ddyffryn Succoth.
8 Eiddof fi *yw* Gilead; eiddof fi Ma-
nasseh; Ephraim hefyd *yw* nerth fy mhen:
Judah *yw* fy neddfwr.
9 Moab *yw* fy nghrochan golchi; tros
Edom y taflaf fy esgid: buddugoliaethaf
ar Philistia.
10 Pwy a'm dwg i'r ddinas gadarn? pwy
a'm dwg hyd yn Edom?
11 Onid *tydi,* O DDUW, *yr hwn* a'n
bwriaist ymaith? ac onid ai di allan, O
DDUW, gyd â'n lluoedd?

12 Dyro i ni gynhorthwy rhag cyfyngder: canys gau *yw* ymwared dyn.
13 Trwy DDUW y gwnawn wroldeb: canys efe a sathr ein gelynion.

## PSALM CIX.

1 *Dafydd yn cwyno rhag enllib ei elynion, ac yn rhith Judas yn eu melldigo hwy:* 16 *yn dangos eu pechod hwy:* 21 *yn cwyno rhag ei drueni ei hun; ac yn gweddio am help:* 30 *yn addaw bod yn ddiolchgar.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm Dafydd

a Psal. 83. 1. a NA thaw, O DDUW fy moliant.
† Heb. genau twyll. 2 Canys genau'r annuwiol a † genau'r twyllodrus a ymagorasant arnaf: â thafod celwyddog y llefarasant i'm herbyn.
3 Cylchynasant fi hefyd â geiriau cas; ac
b Psal. 69. 4. Ioan 15. 25. ymladdasant â mi b heb achos.
4 Am fy ngharedigrwydd y'm gwrthwynebant: minnau *a arferaf* weddi.
c Psal. 35. 7, 12. a 38. 20. 5 c Talasant hefyd i mi ddrwg am dda, a chas am fy ngharïad.
6 Gosod *dithau un* annuwiol arno ef; a
d Zech. 3. 1. safed d ‡ Satan wrth ei ddeheulaw ef.
‡ Neu, y gwrthwynebwr. 7 Pan farner ef, eled yn euog; e a bydded ei weddi yn bechod.
e Diar. 28. 9. 8 Ychydig fyddo ei ddyddiau; *a* f chymmered arall ei swydd ef.
f Act. 1. 20. 9 g Bydded ei blant yn ymddifaid, a'i wraig yn weddw.
g Exod. 22. 24. 10 Gan grwydro hefyd crwydred ei blant ef, a chardottant: ceisiant hefyd *eu bara* o'u hanghyfannedd leoedd.
h Job 5. 5. a 18. 9. 11 h Rhwyded § y ceisiad yr hyn oll sydd
§ Neu, yr ocrwr. ganddo; ac anrheithied dïeithriaid ei lafur ef.
12 Na fydded *neb* a estyno drugaredd iddo; ac na fydded *neb* a drugarhao wrth ei ymddifaid ef.
i Job 18. 19. 13 i Torrer ymaith ei hiliogaeth ef: dileer eu henw yn yr oes nesaf.
k Exod. 20. 5. 14 k Cofier anwiredd ei dadau o flaen yr ARGLWYDD; ac na ddileer pechod ei fam ef.
15 Byddant bob amser ger bron yr AR-
l Job 18. 17. Psal. 34. 16. GLWYDD, fel l y torro efe ymaith eu coffadwriaeth o'r tir.
16 Am na chofiodd wneuthur trugaredd, eithr erlid o hono y truan a'r tlawd, a'r cystuddiedig o galon, i'w ladd.
m Esec. 35. 6. 17 m Hoffodd felldith, a hi a ddaeth iddo: ni fynnai fendith, a hi a bellhaodd oddi wrtho.
18 Ië, gwisgodd felldith fel dilledyn; a hi a ddaeth fel dwfr i'w fewn, ac fel olew i'w esgyrn.
19 Bydded iddo fel dilledyn *yr hwn* a wisgo efe, ac fel gwregys a'i gwregyso efe yn wastadol.
20 Hyn *fyddo* tâl fy ngwrthwynebwŷr gan yr ARGLWYDD, a'r rhai a ddywedant ddrwg yn erbyn fy enaid.
21 Tithau, ARGLWYDD DDUW, gwna erof fi er mwyn dy enw: am *fod* yn dda dy drugaredd, gwared fi.
22 Canys truan a thlawd *ydwyf* fi, a'm calon a archollwyd o'm mewn.
n Psal. 102. 11. a 144. 4. 23 Aethum n fel cysgod pan gilio: fel locust y'm hysgydwir.
24 Fy ngliniau a aethant yn egwan gan ympryd; a'm cnawd a guriodd o eisiau brasder.
25 Gwaradwydd hefyd oeddwn iddynt:
o Psal. 22. 7. *pan* welent fi, o siglent eu pennau.
26 Cynnorthwya fi, O ARGLWYDD fy NUW; achub fi yn ol dy drugaredd:

27 Fel y gwypont mai dy law di *yw* hyn; *mai* ti, ARGLWYDD, a'i gwnaethost.
28 Melldithiant hwy, ond bendithia di: cywilydder hwynt, pan gyfodant; a llawenyched dy was.
29 Gwisger fy ngwrthwynebwŷr â gwarth, ac ymwisgant â'u cywilydd, megis â chochl.
30 Clodforaf yr ARGLWYDD yn ddirfawr â'm genau, ie, moliannaf ef ym mysg llawer.
31 O herwydd p efe a saif ar ddeheulaw'r p Psal. 16. 8. a 73. 23.
tlawd, i'w achub oddi wrth y rhai a farnant a 110. 5. a 121. 5.
ei enaid.

## PSALM CX. } { *Boreol Weddi.*

1 *Brenhiniaeth,* 4 *offeiriadaeth,* 5 *goruchafiaeth,* 7 *a dioddefaint Crist.*

¶ Psalm Dafydd.

DYWEDODD a yr ARGLWYDD wrth fy a Mat. 22. 44.
Arglwydd, Eistedd ar fy neheulaw, Marc 12.
hyd oni osodwyf dy elynion yn faingc i'th 36.
draed. Luc 20. 42. Act. 2. 34.
2 Gwïalen dy nerth a enfyn yr AR- 1 Cor. 15.
GLWYDD o Sïon: llywodraetha di yngha- 25. Heb. 1. 13.
nol dy elynion. 1 Petr 3.
3 Dy bobl *a fyddant* ewyllysgar yn nydd 22.
dy nerth, mewn b harddwch sancteidd- b Psal. 96.
rwydd † o groth y wawr: y mae gwlith dy 9.
‡ enedigaeth i ti. † Neu, yn fwy nâ chroth
4 c Tyngodd yr ARGLWYDD, ac nid edi- y wawr: cei wlith,
farhâ, Ti *wyt* offeiriad yn dragywyddol, yn &c.
ol urdd Melchisedec.
5 Yr Arglwydd d ar dy ddeheulaw a ‡ ieuenctid.
drywana frenhinoedd yn nydd ei ddigofaint. c Heb. 5. 6.
6 Efe a farn ym mysg y cenhedloedd; a 7. 17, 21.
lleinw *leoedd* â chelaneddau: e archolla ben Edrych Zech. 6. 13.
§ llawer gwlad. d Psal. 16. 8.
7 Efe a ŷf o'r afon ar y ffordd: am hynny e Psal. 68.
y dyrcha efe ei ben. 21.
Hab. 3. 13. § Neu, *gwledydd mawr.*

## PSALM CXI.

1 *Y psalmydd, trwy ei esampl ei hun, yn annog eraill i foliannu Duw, am ei ogoneddus* 5 *a'i rasusol weithredoedd.* 10 *Mai ofn Duw sy'n magu gwir ddoethineb.*

† MOLWCH yr ARGLWYDD. Clodforaf † Heb.
yr ARGLWYDD â'm holl galon, yn- *Haleluiah.*
ghymmanfa y rhai uniawn, ac *yn* y gynnulleidfa.
2 Mawr *yw* gweithredoedd yr ARGLWYDD, wedi eu ceisio gan bawb a'u hoffant.
3 Gogoniant a harddwch *yw* ei waith ef; a'i gyfiawnder sydd yn parhâu byth.
4 Gwnaeth gofio ei ryfeddodau: a gras- a Psal. 86.
lawn a thrugarog *yw*'r ARGLWYDD. 5. a 103. 8.
5 Rhoddodd ‡ ymborth i'r rhai a'i hofn- ‡ Heb.
ant ef: efe a gofia ei gyfammod yn dragy- *ysglyfaeth.*
wydd.
6 Mynegodd i'w bobl gadernid ei weithredoedd, i roddi iddynt etifeddiaeth y cenhedloedd.
7 Gwirionedd a barn *yw* gweithredoedd
ei ddwylaw ef: b ei holl orchymynion b Psal. 19.
*ydynt* sicr: 7.
8 c Wedi eu sicrhâu byth ac yn dragy- c Esay 40.
wydd, *a'u* gwneuthur mewn gwirionedd ac 8.
uniawnder. Mat. 5. 18.
9 Anfonodd ymwared i'w bobl: gorchymynodd ei gyfammod yn dragywyddol; sancteiddiol ac ofnadwy *yw* ei enw ef.

10 d Dechreuad doethineb *yw* ofn yr
ARGLWYDD: † deall da *sydd* gan y rhai ‡ a
wnant *ei orchymynion ef*: y mae ei foliant ef
yn parhâu byth.

d Deut. 4. 6. Job 28. 28. Diar. 1. 7. a 9. 10. Preg. 12. 13. Ecl. 1. 16.

† Neu, *llwyddiant.* ‡ Heb. *a'u gwna hwynt.*

## PSALM CXII.

*1 Duwioldeb sydd iddi addewid o'r bywyd yma, 4 ac o'r bywyd a ddaw. 10 Y bydd drwg gan yr enwir weled llwyddiant y duwiol.*

† MOLWCH yr ARGLWYDD. a Gwŷn *ei*
fyd y gwr a ofna'r ARGLWYDD, *ac*
sydd yn hoff ei orchymynion ef yn ddir-
fawr.
2 Ei had fydd cadarn ar y ddaear: ce-
nhedlaeth y rhai uniawn a fendithir.
3 Golud a chyfoeth *fydd* yn ei dŷ ef: a'i
gyfiawnder sydd yn parhâu byth.
4 b Cyfyd goleuni i'r rhai uniawn yn y
tywyllwch: trugarog, a thosturiol, a chyf-
iawn, *yw efe.*
5 c Gwr da sydd gymmwynasgar, ac yn
rhoddi benthyg: wrth farn y llywodraetha
efe ei achosion.
6 Yn ddiau nid ysgogir ef byth: d y cyf-
iawn fydd byth mewn coffadwriaeth.
7 e Nid ofna efe rhag chwedl drwg: ei
galon sydd ddisigl, yn ymddiried yn yr AR-
GLWYDD.
8 Attegwyd ei galon: nid ofna efe, hyd
oni welo *ei ewyllys* ar ei elynion.
9 f Gwasgarodd, rhoddodd i'r tlodion;
a'i gyfiawnder sydd yn parhâu byth; g ei
gorn a ddyrchefir mewn gogoniant.
10 h Yr annuwiol a wêl *hyn*, ac a ddigia;
i efe a ysgyrnyga ei ddannedd, ac k a dawdd
ymaith: l derfydd am ddymuniad y rhai
annuwiol.

† Heb. *Haleluiah.* a Psal. 128. 1. b Job 11. 17. Psal. 97. 11. c Psal. 37. 26. Luc 6. 35. d Diar. 10. 7. e Diar. 1. 33. f 2 Cor. 9. 9. g Psal. 75. 10. h Edrych Luc 13. 28. i Psal. 37. 12. k Psal. 58. 7, 8. l Diar. 10. 28.

## PSALM CXIII.

*1 Cyngor i folianny Duw, o herwydd ei ar-dderchowgrwydd, 6 a'i drugaredd.*

† MOLWCH yr ARGLWYDD. Gweision
yr ARGLWYDD, molwch, *ïe*, molwch
enw'r ARGLWYDD.
2 a Bendigedig fyddo enw'r ARGLWYDD
o hyn allan ac yn dragywydd.
3 b O godiad haul hyd ei fachludiad mol-
iannus *yw* enw'r ARGLWYDD.
4 Uchel *yw* yr ARGLWYDD goruwch yr
holl genhedloedd; c *a'i* ogoniant *sydd* gor-
uwch y nefoedd.
5 d Pwy *sydd* fel yr ARGLWYDD ein DUW
ni, yr hwn sydd yn ‡ preswylio yn uchel?
6 e Yr hwn a ymddarostwng i edrych *y*
*pethau* yn y nefoedd, ac yn y ddaear?
7 f Efe sydd yn codi'r tlawd o'r llwch,
*ac* yn dyrchafu yr anghenus o'r dommen,
8 I'w g osod gyd â phendefigion, *ïe*, gyd
â phendefigion ei bobl.
9 h Yr hwn a wna i'r ammhlantadwy
§ gadw tŷ, *a bod* yn llawen-fam plant. Can-
molwch yr ARGLWYDD.

§ Heb. *drigo mewn tŷ.*

† Heb. *Haleluiah.* a Dan. 2. 20. b Esay 59. 19. Mal. 1. 11. c Psal. 8. 1. d Psal. 89. 6. ‡ Heb. *ymddyrchafu i breswylio?* e Psal. 138. 6. Esay 57. 15. f 2 Sam. 2. 8. Psal. 107. 41. g Job 36. 7. h 1 Sam. 2. 5. Psal. 68. 9.

## PSALM CXIV. *Prydnhawnol Weddi.*

*Dafydd, trwy esampl y creaduriaid mudion, yn annog i ofni Duw yn ei eglwys.*

PAN a aeth Israel o'r Aipht, tŷ Jacob
b oddi wrth bobl anghyfiaith;
2 c Judah oedd ei sancteiddrwydd, *ac*
Israel ei arglwyddïaeth.
3 d Y môr a welodd *hyn*, ac a giliodd;
e yr Iorddonen a drodd yn ol.
4 f Y mynyddoedd a neidiasant fel
hyrddod, *a'r* bryniau fel ŵyn defaid.
5 g Beth *ddarfu* i ti, o for, pan giliaist?
tithau Iorddonen, *paham* y troaist yn ol?
6 *Paham*, fynyddoedd, y neidiech fel
hyrddod? *a'r* bryniau fel ŵyn defaid?
7 Ofna, di ddaear, rhag yr ARGLWYDD,
rhag Duw Jacob:
8 h Yr hwn sydd yn troi'r graig *yn* llyn
dwfr, *a'r* gallestr yn ffynnon dyfroedd.

a Exod. 3. 13. b Psal. 81. 5. c Exod. 6. 7. a 19. 6. Deut. 27. 9. d Exod. 14. 21. Psal. 77. 16. e Jos. 3. 13, 16. f Psal. 29. 6. a 68. 9. g Hab. 3. 8. h Exod. 17. 6. Num. 20. 11. Psal. 107. 35.

## PSALM CXV.

*1 O herwydd bod Duw yn wir-ogoneddus, 4 ac eilunod yn wagedd, 9 y mae'r Psalmydd yn cynghori rhoi hyder ar Dduw. 12 Y dylid bendithio Duw am ei fendithion.*

a NID i ni, O ARGLWYDD, nid i ni, ond
i'th enw dy hun dod ogoniant, er
mwyn dy drugaredd, *ac* er mwyn dy wiri-
onedd.
2 b Paham y dywedai'r cenhedloedd, Pa
le yn awr *y mae* eu Duw hwynt?
3 Ond ein Duw ni *sydd* yn y nefoedd:
c efe a wnaeth yr hyn a fynnodd oll.
4 d Eu delwau hwy *ydynt o* aur ac arian,
gwaith dwylaw dynion.
5 Genau *sydd* iddynt, ond ni lefarant;
llygaid *sydd* ganddynt, ond ni welant:
6 *Y mae* clustiau iddynt, ond ni chlyw-
ant; ffroenau *sydd* ganddynt, ond ni ar-
oglant:
7 Dwylaw *sydd* iddynt, ond ni theimlant;
traed *sy* iddynt, ond ni cherddant; ni leis-
iant chwaith â'u gwddf.
8 Y rhai a'u gwnant ydynt fel hwythau,
*a* phob un a ymddiriedo ynddynt.
9 e O Israel, ymddiried di yn yr AR-
GLWYDD: f efe *yw* eu porth a'u tarian.
10 Tŷ Aaron, ymddiriedwch yn yr AR-
GLWYDD: efe *yw* eu porth a'u tarian.
11 Y rhai a ofnwch yr ARGLWYDD,
ymddiriedwch yn yr ARGLWYDD: efe *yw*
eu porth a'u tarian.
12 Yr ARGLWYDD a'n cofiodd ni: efe
a'n bendithia: bendithia efe dŷ Israel; ben-
dithia efe dŷ Aaron.
13 g Bendithia efe y rhai a ofnant yr AR-
GLWYDD, fychain † a mawrion.
14 Yr ARGLWYDD a'ch 'chwanega chwi
fwyfwy, chwychwi a'ch plant hefyd.
15 Bendigedig *ydych* chwi gan yr AR-
GLWYDD, yr hwn a wnaeth nef a daear.
16 Y nefoedd, *ïe*, 'r nefoedd *ydynt* eiddo'r
ARGLWYDD: a'r ddaear a roddes efe i
feibion dynion.
17 h Y meirw ni foliannant yr AR-
GLWYDD, na'r neb sydd yn disgyn i ddis-
tawrwydd.
18 i Ond nyni a fendithiwn yr AR-
GLWYDD o hyn allan ac yn dragywydd.
Molwch yr ARGLWYDD.

a Edrych Esay 48. 11. Ezec. 36. 32. b Psal. 42. 3, 10. a 79. 10. Joel 2. 17. c Psal. 135. 6. d Deut. 4. 28. Psal. 135. 15. Jer. 10. 3, &c. e Edrych Psal. 118. 1, 2, 3, 4. a 135. 12, 20. f Psal. 33. 20. Diar. 30. 5. g Psal. 128. 1, 4. † Heb. *gyd â.* h Psal. 6. 5. a 88. 10, 11, 12. Esay 38. 18. i Dan. 2. 20.

## PSALM CXVI. *Boreol Weddi.*

*1 Dafydd yn dangos ei gariad a'i ddyled tu ag at Dduw am ei wared ef: 12 ac yn ymegnïo i fod yn ddïolchgar.*

DA gennyf wrando o'r ARGLWYDD ar
fy llef, *a'm* gweddïau.
2 Am ostwng o hono ei glust attaf, am
hynny llefaf dros fy nyddiau arno *ef.*
3 a Gofidion angau a'm cylchynasant, a
gofidiau uffern a'm † daliasant: ing a blin-
der a gefais.

a Psal. 18. 5, 6. † Heb. *cawsant.*

4 Yna y gelwais ar enw'r ARGLWYDD;
Attolwg, ARGLWYDD, gwared fy enaid.
5 Graslawn yw'r ARGLWYDD, a chyf-
iawn; a thosturiol yw ein Duw ni.
6 Yr ARGLWYDD sydd yn cadw'r rhai
annichellgar: tlodais, ac efe a'm hachubodd.
7 Dychwel, O fy enaid, i'th orphwysfa;
b Psal. 13. 6. canys b yr ARGLWYDD fu dda wrthyt.
8 c O herwydd it' waredu fy enaid oddi
c Psal. 56. 13. wrth angau, fy llygaid oddi wrth ddagrau,
a'm traed rhag llithro.
d Psal. 27. 13. 9 Rhodiaf o flaen yr ARGLWYDD d yn
nhir y rhai byw.
e 2 Cor. 4. 13. 10 e Credais, am hynny y llefarais: cystu-
ddiwyd fi 'n ddirfawr.
f Psal. 31. 22. 11 f Mi a ddywedais yn fy ffrwst, g Pob
g Rhuf. 3. 4. dyn sydd gelwyddog.
12 Beth a dalaf i'r ARGLWYDD, am ei
holl ddoniau i mi?
13 Phiol iachawdwriaeth a gymmeraf, ac
ar enw'r ARGLWYDD y galwaf.
h Psal. 22. 25. Adn. 18. 14 h Fy addunedau a dalaf i'r ARGLWYDD,
yn awr yngŵydd ei holl bobl ef.
i Psal. 72. 14. 15 i Gwerthfawr yngolwg yr ARGLWYDD
yw marwolaeth ei saint ef.
k Psal. 143. 12. 16 O ARGLWYDD, yn ddïau k dy was
di ydwyf fi; dy was di ydwyf fi, l mab dy
l Psal. 86. 16. wasanaeth-wraig: dattodaist fy rhwymau.
m Lef. 7. 12. 17 Aberthaf i ti m aberth moliant; a
galwaf ar enw'r ARGLWYDD.
n Adn. 14. 18 n Talaf fy addunedau i'r ARGLWYDD,
yn awr yngŵydd ei holl bobl,
19 Ynghynteddoedd tŷ'r ARGLWYDD,
yn dy ganol di, O Jerusalem. Molwch yr
ARGLWYDD.

## PSALM CXVII.

*Cyngor i foliannu Duw am ei drugaredd a'i wirionedd.*

a Rhuf. 15. 11. a MOLWCH yr ARGLWYDD, yr holl
genhedloedd: clodforwch ef, yr holl
bobloedd.
2 O herwydd ei drugaredd ef tu ag attom
ni sydd fawr: a gwirionedd yr ARGLWYDD
a bery yn dragywydd. Molwch yr AR-
GLWYDD.

## PSALM CXVIII.

1 *Cyngor i foliannu Duw am ei drugaredd.*
5 *Y Psalmydd, wrth a brofasai efe ei hun, yn dangos mor dda ydyw hyderu ar Dduw.*
19 *Mynegi dyfodiad Crist yn ei deyrnas, dan rith a chysgod y Psalmydd.*

a 1 Chron. 16. 8. a CLODFORWCH yr ARGLWYDD; canys
Psal. 106. 1. da yw: o herwydd ei drugaredd a
a 107. 1. a 136. 1. bery yn dragywydd.
b Eilrych Psal. 115. 9, &c. 2 b Dyweded Israel yr awr hon, fod ei
drugaredd ef yn parhâu yn dragywydd.
3 Dyweded tŷ Aaron yn awr, fod ei dru-
c Psal. 120. 1. garedd ef yn parhâu yn dragywydd.
4 Yn awr dyweded y rhai a ofnant yr
† Heb. Allan o ing. ARGLWYDD; fod ei drugaredd ef yn parhâu
yn dragywydd.
5 c † Mewn ing y gelwais ar yr AR-
d Psal. 18. 19. GLWYDD; yr ARGLWYDD a'm clybu, ac
d a'm gosododd mewn ehangder.
e Psal. 27. 1. a 56. 4, 11. 6 e Yr ARGLWYDD sydd gyd â mi, nid
ofnaf: beth a wna dyn i mi?
f Esay 51. 12. 7 f Yr ARGLWYDD sydd gyd â mi ym
mhlith fy nghynnorthwywyr: am hynny y
Heb. 12. 6. caf weled fy ewyllys ar fy nghaseion.
g Psal. 54. 4. a 40. 4. 8 g Gwell yw gobeithio yn yr ARGLWYDD,
a 62. 8, 9. nag ymddiried mewn dyn.
Jer. 17. 5, 7. 9 h Gwell yw gobeithio yn yr ARGLWYDD,
nag ymddiried mewn tywysogion.
h Psal. 146. 3. 10 Yr holl genhedloedd a'm hamgylch-
ynasant: ond yn enw'r ARGLWYDD mi a'u
torraf hwynt ymaith.

11 Amgylchynasant fi; ïe, amgylchynas-
ant fi: ond yn enw'r ARGLWYDD mi a'u
torraf hwynt ymaith.
12 Amgylchynasant fi i fel gwenyn; di- i Deut. 1. 44.
ffoddasant k fel tân drain: o herwydd yn
enw'r ARGLWYDD mi a'u torraf hwynt k Preg. 7. 6.
ymaith.
13 Gan wthio y gwthiaist fi, fel y syrth-
iwn: ond yr ARGLWYDD a'm cynnorth-
wyodd.
14 l Yr ARGLWYDD yw fy nerth a'm l Exod. 15. 2.
cân; ac sydd iachawdwriaeth i mi. Esay 12. 2.
15 Llef gorfoledd a iachawdwriaeth sydd
ym mhebyll y cyfiawn: deheulaw'r AR-
GLWYDD sydd yn gwneuthur grymmusder.
16 Deheulaw'r ARGLWYDD a ddyr-
chafwyd: deheulaw'r ARGLWYDD sydd yn
gwneuthur grymmusder.
17 m Ni byddaf farw, ond byw; a myneg- m Psal. 6. 5.
af weithredoedd yr ARGLWYDD. Hab. 1. 12.
18 Gan gospi y'm cospodd yr ARGLWYDD:
ond ni'm rhoddodd i farwolaeth.
19 n Agorwch i mi byrth cyfiawnder: af n Esay 26. 2.
i mewn iddynt, a chlodforaf yr AR-
GLWYDD.
20 Dyma borth yr ARGLWYDD; o y rhai o Esay 35. 8.
cyfiawn a ant i mewn iddo. Dat. 21. 27.
21 Clodforaf di; o herwydd i ti fy ngwran- a 22. 14, 15.
do, a'th fod yn iachawdwriaeth i mi.
22 p Y maen a wrthododd yr adeiladwŷr, p Mat. 21. 42.
a aeth yn ben i'r gongl. Marc 12. 10.
23 O'r ARGLWYDD y daeth hyn; hyn
oedd ryfedd yn ein golwg ni. Luc 20. 17.
24 Dyma'r dydd a wnaeth yr ARGLWYDD; Act. 4. 11. Eph. 2. 20.
gorfoleddwn a llawenychwn ynddo. 1 Petr 2. 4, 7.
25 Attolwg, ARGLWYDD, achub yn awr:
attolwg, ARGLWYDD, par yn awr lwyddiant.
26 q Bendigedig yw a ddêl yn enw'r q Mat. 21. 9. a 23. 39.
ARGLWYDD: bendithiasom chwi o dŷ'r AR- Marc 11. 9.
GLWYDD. Luc 19. 38.
27 Duw yw'r ARGLWYDD, yr hwn a Edrych Zech. 4, 7.
lewyrchodd i ni: rhwymwch yr aberth â
rhaffau, hyd wrth gyrn yr allor.
28 Fy Nuw ydwyt ti, a mi a'th glodforaf:
dyrchafaf di, fy Nuw.
29 Clodforwch yr ARGLWYDD; canys da
yw: o herwydd yn dragywydd y pery ei
drugaredd ef.

## PSALM CXIX. { Prydnhawnol Weddi.

*Y Psalm hon sydd yn cynnwys amryw weddïau, a moliannau, ac addewidion ufudd-dod.*

### ALEPH.

GWYN fyd y rhai perffaith eu ffordd, a Psal. 128. 1.
a y rhai a rodiant yngnghyfraith yr AR-
GLWYDD.
2 Gwyn fyd y rhai a gadwant ei dystiol-
aethau ef; ac a'i ceisiant ef â'u holl galon.
3 b Y rhai hefyd ni wnant anwiredd, hwy b 1 Ioan 3. 9. a 5. 18.
a rodiant yn ei ffyrdd ef.
4 Ti a orchymynaist gadw dy orchy-
mynion yn ddyfal.
5 O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy
ddeddfau!
6 Yna ni'm gwaradwyddid, pan edrych-
wn ar dy holl orchymynion.
7 c Clodforaf di ag uniondeb calon, pan c Adn. 171.
ddysgwyf farnedigaethau dy gyfiawnder.
8 Cadwaf dy ddeddfau: O na ad fi'n
hollol.

### BETH.

9 Pa fodd y glanhâ llangc ei lwybr? wrth
ymgadw yn ol dy air di.
10 A'm holl galon y'th geisiais: na ad i
mi gyfeiliorni oddi wrth dy orchymynion.

d Psal. 37. 11 d Cuddiais dy ymadroddion yn fy
31. nghalon, fel na phechwn i'th erbyn.
Luc 2. 19, 12 Ti, ARGLWYDD, *wyt* fendigedig:
51. e dysg i mi dy ddeddfau.
e Adn. 26, 13 A'm gwefusau y treuthais holl farn-
33, 64, 68, edigaethau dy enau.
108, 124, 14 Bu mor llawen gennyf ffordd dy dyst-
135. iolaethau, â'r holl olud.
15 Yn dy orchymynion y myfyriaf, ac ar
dy lwybrau yr edrychaf.
16 Yn dy ddeddfau 'r ymddigrifaf: nid
anghofiaf dy air.

GIMEL.

17 Bydd dda wrth dy was, *fel* y byddwyf
byw, ac y cadwyf dy air.
18 Datguddia fy llygaid, fel y gwelwyf
bethau rhyfedd allan o'th gyfraith di.
f Gen. 47. 19 f Dieithr *ydwyf* fi ar y ddaear: na
9. chudd di rhagof dy orchymynion.
1 Chron. 20 g Drylliwyd fy enaid gan awydd i'th
29. 15. farnedigaethau bob amser.
Psal. 39. 12. 21 Ceryddaist y beilchion † melldigedig,
2 Cor. 5. 6. y rhai a gyfeiliornant oddi wrth dy orchy-
Heb. 11. mynion.
13. 22 Tro oddi wrthyf gywilydd a dirmyg:
g Psal. 42. oblegid dy dystiolaethau di a gedwais.
1, 2. a 63. 1. 23 Tywysogion hefyd a eisteddasant, *ac*
a 84. 2. a ddywedasant i'm herbyn: dy was dithau a
† Neu, *a melldigedig yw y rhai, &c.* fyfyriai yn dy ddeddfau.
24 h A'th dystiolaethau *oeddynt* fy hy-
h Adn. 77, 92. frydwch *a'm* cynghorwŷr.

DALETH.

i Psal. 44. 25 i Glynodd fy enaid wrth y llwch:
25. k bywhâ fi'n ol dy air.
k Adn. 40. 26 Fy ffyrdd a fynegais, a gwrandewaist
Psal. 143. 11. fi: l dysg i mi dy ddeddfau.
l Psal. 25. 27 Gwna i mi ddeall ffordd dy orchy-
4. a 27. 11. mynion; a mi a fyfyriaf yn dy ryfeddodau.
a 86. 12. 28 m Diferodd fy enaid gan ofid: nertha
Adn. 12. fi'n ol dy air.
m Psal. 107. 29 Cymmer oddi wrthyf ffordd y cel-
26. wydd; ac yn raslawn dod i mi dy gyfraith.
30 Dewisais ffordd gwirionedd: gosodais
dy farnedigaethau *o'm blaen.*
31 Glynais wrth dy dystiolaethau: O
ARGLWYDD, na'm gwaradwydda.
32 Ffordd dy orchymynion a redaf, pan
n Esay 60. 5. n ehangech fy nghalon.

HE. } { *Boreol Weddi.*

o Adn. 12 33 o Dysg i mi, O ARGLWYDD, ffordd
dy ddeddfau, a chadwaf hi *hyd* y diwedd.
34 Gwna i mi ddeall, a chadwaf dy gyf-
raith; ïe, cadwaf hi â'*m* holl galon.
35 Gwna i mi gerdded yn llwybr dy or-
chymynion: canys ynddo y mae fy ewyllys.
36 Gostwng fy nghalon at dy dystiol-
aethau, ac nid at gybydd-dra.
p Esay 33. 37 p Tro heibio fy llygaid, rhag q edrych
15. ar wagedd; *a* bywhâ fi yn dy ffyrdd.
q Diar. 23. 38 Sicrhâ dy air i'th was, yr hwn *sy'n*
5. *ymroddi* i'th ofn di.
39 Tro heibio fy ngwaradwydd yr wyf
yn ei ofni: canys dy farnedigaethau *sydd*
dda.
40 Wele, awyddus ydwyf i'th orchy-
r Adn. 25, mynion: r gwna i mi fyw yn dy gyfiawn-
88, 107, 149, 156, 159. der.

FAU.

41 Deued i mi dy drugaredd, ARGLWYDD,
a'th iachawdwriaeth yn ol dy air.
‡ Neu, *yr attebaf beth i'r hwn a'm ceryddo.* 42 Yna ‡ yr atteboaf i'm cablydd: o her-
wydd yn dy air y gobeithiais.
43 Na ddwg dithau air y gwirionedd
o'm genau yn llwyr: o herwydd yn dy
farnedigaethau di y gobeithiais.
44 A'th gyfraith a gadwaf yn wastadol,
byth ac yn dragywydd.
45 Rhodiaf hefyd mewn ehangder: o
herwydd dy orchymynion di a geisiaf.
46 s Ac am dy dystiolaethau di y llefarafs Psal. 138.
o flaen brenhinoedd, ac ni bydd cywilydd 1.
gennyf. Mat. 10. 18, 19.
47 Ac ymddigrifaf yn dy orchymynion,
y rhai a hoffais.
48 A'm dwylaw a ddyrchafaf at dy or-
chymynion, y rhai a gerais; a mi a fyfyriaf
yn dy ddeddfau.

ZAIN.

49 Cofia 'r gair wrth dy was, yn yr hwn y
peraist i mi obeithio.
50 Dyma fy nghysur yn fy nghystudd:
canys dy air di a'm bywhaodd i.
51 Y beilchion a'm gwatwarasant yn
ddirfawr: *er hynny* ni throais oddi wrth dy
gyfraith di.
52 Cofiais, O ARGLWYDD, dy farnedig-
aethau erioed; ac ymgysurais.
53 Dychryn a ddaeth arnaf, oblegid yr
annuwiolion, y rhai sydd yn gadu dy gyf-
raith di.
54 Dy ddeddfau oedd fy nghân yn nhŷ
fy mhererindod.
55 t Cofiais dy enw, ARGLWYDD, y nos; t Psal. 63.
a chedwais dy gyfraith. 6.
56 Hyn oedd gennyf, am gadw o honof
dy orchymynion di.

CHETH.

57 u O ARGLWYDD, fy rhan *ydwyt;* dy- u Psal. 16.
wedais y cadwn dy eiriau. 5. Jer. 10. 16.
58 Ymbiliais â'th wyneb â'*m* holl galon: Galar. 3. 24.
trugarhâ wrthyf yn ol dy air.
59 Meddyliais am fy ffyrdd, a throais fy
nhraed at dy dystiolaethau di.
60 Brysiais, ac nid oedais gadw dy or-
chymynion.
61 § Minteioedd yr annuwiolion a'm § Neu,
hyspeiliasant: *ond* nid anghofiais dy gyf- *Byddin-*
raith di. *oedd.*
62 Hanner nos y cyfodaf i'th foliannu,
am farnedigaethau dy gyfiawnder.
63 Cyfaill *ydwyf* fi i'r rhai oll a'th ofnant,
ac i'r rhai a gadwant dy orchymynion.
64 Llawn yw 'r ddaear o'th drugaredd, O
ARGLWYDD: x dysg i mi dy ddeddfau. x Adn. 12, 26.

TETH.

65 Gwnaethost yn dda â'th was, O AR-
GLWYDD, yn ol dy air.
66 Dysg i mi iawn ddeall a gwybodaeth:
o herwydd dy orchymynion di a gredais.
67 y Cyn fy nghystuddio, yr oeddwn yn y Adn. 71.
cyfeiliorni: ond yn awr cedwais dy air di. Jer. 31.
68 Da *ydwyt,* a daionus: z dysg i mi dy 18, 19.
ddeddfau. z Adn. 12, 26.
69 Y beilchion a glytiasant gelwydd i'm
herbyn: minnau a gadwaf dy orchymynion a Psal. 17.
â'm holl galon. 10. Esay 6. 10.
70 a Cyn frased â'r bloneg yw eu calon: b Adn. 67.
minnau a ymddigrifais yn dy gyfraith di. Heb. 12.
71 b Da *yw* i mi fy nghystuddio; fel y 10, 11.
dysgwn dy ddeddfau. c Psal. 19.
72 c Gwell i mi gyfraith dy enau, nâ 10.
miloedd o aur ac arian. Adn. 127. Diar. 8. 11.

IOD. } { *Prydnhawnol Weddi.*

73 d Dy ddwylaw a'm gwnaethant, ac a'm d Job 10. 8.
lluniasant: par i mi ddeall, fel y dysgwyf Psal. 100. 3.
dy orchymynion. a 138. 8.

e Psal. 34. 2. 74 [e] Y rhai a'th ofnant a'm gwelant, ac a lawenychant; oblegid gobeithio o honof yn dy air di.

† Heb. cyfiawnder. f Heb. 12. 10. 75 Gwn, ARGLWYDD, mai † cyfiawn *yw* dy farnedigaethau; ac [f] *mai* mewn ffyddlondeb y'm cystuddiaist.

76 Bydded, attolwg, dy drugaredd i'm cysuro, yn ol dy air i'th wasanaethwr.

g Adn. 24, 47, 174. 77 Deued i mi dy drugareddau, fel y byddwyf byw: o herwydd [g] dy gyfraith yw fy hyfrydwch.

78 Cywilydder y beilchion, canys gwnant gam â mi yn ddiachos: *ond* myfi a fyfyriaf yn dy orchymynion di.

79 Troer attaf fi y rhai a'th ofnant di, a'r rhai a adwaenant dy dystiolaethau.

80 Bydded fy nghalon yn berffaith yn dy ddeddfau; fel na'm cywilyddier.

CAPH.

h Psal. 73. 26. a 84. 2. 81 [h] Diffygiodd fy enaid am dy iachawdwriaeth: wrth dy air yr ydwyf yn disgwyl.

i Psal. 69. 3. Adn. 123. 82 [i] Y mae fy llygaid yn pallu am dy air, gan ddywedyd, Pa bryd y'm diddeni?

k Job 30. 30. 83 Canys [k] ydwyf fel costrel mewn mwg: *ond* nid anghofiais dy ddeddfau.

l Psal. 39. 4. 84 [l] Pa nifer *yw* dyddiau dy was? pa bryd y gwnei farn ar y rhai a'm herlidiant?

m Psal. 35. 7. 85 [m] Y beilchion a gloddiasant byllau i mi, yr hyn nid *yw* wrth dy gyfraith di.

‡ Neu, ffyddlondeb. 86 Dy holl orchymynion *ydynt* ‡ wirionedd: ar gam y'm herlidiasant; cymmorth fi.

87 Braidd na'm difasant ar y ddaear: minnau ni adewais dy orchymynion.

n Adn. 40. 88 [n] Bywhâ fi yn ol dy drugaredd; felly y cadwaf dystiolaeth dy enau.

LAMED.

o Psal. 89. 2. Mat. 24. 34, 35. 89 [o] Yn dragywydd, O ARGLWYDD, y mae dy air wedi ei sicrhâu yn y nefoedd.

90 Dy wirionedd *sydd* hyd genhedlaeth a chenhedlaeth: seiliaist y ddaear, a hi a saif.

91 Wrth dy farnedigaethau y safant heddyw: canys dy weision *yw* pob peth.

p Adn. 24. 92 Oni bai *fod* [p] dy ddeddf yn hyfrydwch i mi, darfuasai yna am danaf yn fy nghystudd.

93 Byth nid anghofiaf dy orchymynion: canys â hwynt y'm bywheaist.

94 Eiddot ti *ydwyf*, cadw fi: o herwydd dy orchymynion a geisiais.

95 Y rhai annuwiol a ddisgwyliasant am danaf i'm difetha: *ond* dy dystiolaethau di a ystyriaf fi.

q Mat. 5. 18. a 24. 35. 96 [q] Yr ydwyf yn gweled diwedd ar bob perffeithrwydd: *ond* dy orchymyn di *sydd* dra ehang.

MEM.

r Psal. 1. 2. 97 Mor gu gennyf dy gyfraith di! [r] hi *yw* fy myfyrdod § beunydd.

§ ar hyd y dydd. 98 A'th orchymynion yr ydwyt yn fy ngwneuthur yn ddoethach na'm gelynion: canys byth *y* ‖ *maent* gyd â mi.

‖ Heb. mae. 99 Deallais fwy na'm holl athrawon: o herwydd dy dystiolaethau *yw* fy myfyrdod.

100 Deallais yn well nâ'r henuriaid, am fy mod yn cadw dy orchymynion di.

s Psal. 19. 10. Diar. 8. 11. 101 Atteliais fy nhraed oddi wrth bob llwybr drwg, fel y cadwn dy air di.

102 Ni chiliais oddi wrth dy farnedigaethau: o herwydd ti a'm dysgaist.

† Heb. i'm taflod fy ngenau! 103 [s] Mor felus yw dy eiriau † i'm genau! *melusach* nâ mel i'm safn.

104 Trwy dy orchymynion di y pwyllais: am hynny [t] y caseais bob gau lwybr. t Adn. 128.

NUN. } { *Boreol* *Weddi.*

105 ‡ [u] Llusern *yw* dy air i'm traed, a llewyrch i'm llwybr. ‡ Neu, *Canwyll.* u Diar. 6. 23.

106 [x] Tyngais, a chyflawnaf, y cadwn farnedigaethau dy gyfiawnder. x Neh. 10. 29.

107 Cystuddiwyd fi yn ddirfawr: [y] bywhâ fi, O ARGLWYDD, yn ol dy air. y Adn. 88.

108 Attolwg, ARGLWYDD, bydd foddlon i ewyllysgar offrymmau fy ngenau, a [z] dysg i mi dy farnedigaethau. z Adn. 12, 26.

109 [a] Y mae fy enaid yn fy llaw yn wastadol: er hynny nid wyf yn anghofio dy gyfraith. a Job 13. 14.

110 [b] Y rhai annuwiol a osodasant fagl i mi: ond ni chyfeiliornais oddi wrth dy orchymynion. b Psal. 140. 5. a 141. 9.

111 [c] Cymmerais dy orchymynion yn etifeddiaeth dros byth: o herwydd [d] llawenydd fy nghalon *ydynt*. c Deut. 33. 4. d Adn. 77. 92, 174.

112 Gostyngais fy nghalon i wneuthur dy ddeddfau byth, *hyd* y diwedd.

SAMECH.

113 Meddyliau *ofer* a gaseais; a'th gyfraith di a hoffais.

114 [e] Fy lloches a'm tarian *ydwyt*: yn dy air y gobeithiaf. e Psal. 32. 7. a 91. 1.

115 [f] Ciliwch oddi wrthyf, rai drygionus: canys cadwaf orchymynion fy Nuw. f Psal. 6. 8. a 139. 19. Mat. 7. 23.

116 Cynnal fi yn ol dy air, fel y byddwyf byw: ac na ad i mi gywilyddio am fy ngobaith.

117 Cynnal fi, a diangol fyddaf: ac ar dy ddeddfau yr edrychaf yn wastadol.

118 Sathraist y rhai oll a gyfeiliornant oddi wrth dy ddeddfau: canys twyllodrus *yw* eu dichell hwynt. § Heb. *Gwnaethost i beidio, ac a dar. fel tel, &c.*

119 § Bwriaist heibio holl annuwiolion y tir [g] *fel* sothach: am hynny'r hoffais dy dystiolaethau. g Ezec. 22. 8.

120 [h] Dychrynodd fy nghnawd rhag dy ofn, ac ofnais rhag dy farnedigaethau. h Hab. 3. 16.

AIN.

121 Gwnaethum farn a chyfiawnder: na ad fi i'm gorthrymmwyr.

122 Mechnïa dros dy was er daioni: na ad i'r beilchion fy ngorthrymmu.

123 [i] Fy llygaid a ballasant am dy iachawdwriaeth, ac am ymadrodd dy gyfiawnder. i Adn. 81, 82.

124 Gwna i'th was yn ol dy drugaredd, a [k] dysg i mi dy ddeddfau. k Adn. 12.

125 Dy was *ydwyf* fi; par i mi ddeall, fel y gwypwyf dy dystiolaethau.

126 Amser *yw* i'r ARGLWYDD weithio: diddymmasant dy gyfraith di.

127 [l] Am hynny'r hoffais dy orchymynion yn fwy nag aur; ïe, yn fwy nag aur coeth. l Psal. 19. 10. Adn. 72. Diar. 8. 11.

128 Am hynny uniawn y cyfrifais *dy* orchymynion *am* bob *peth*; *a* [m] chaseais bob gau lwybr. m Adn. 104.

PE.

129 Rhyfedd *yw* dy dystiolaethau: am hynny y ceidw fy enaid hwynt.

130 Agoriad dy eiriau a rydd oleuni: [n] pair ddeall i rai annichellgar. n Psal. 19. 7.

131 Agorais fy ngenau, a dyheais: oblegid awyddus oeddwn i'th orchymynion di. o Psal. 106. 4.

132 [o] Edrych arnaf, a thrugarhâ wrthyf, [p] yn ol dy arfer ‖ i'r rhai a garant dy enw. p 2 Thes. 1. 6, 7. ‖ Neu, *tu ag at y rhai.*

q Psal. 17. 5. 133 ¶ [q] Cyfarwydda fy nghamrau yn dy
r Psal. 19. 13. air: ac [r] na lywodraethed dim anwiredd
arnaf.
Rhuf. 6. 12. 134 Gwared fi oddi wrth orthrymder
dynion: felly y cadwaf dy orchymyn-
ion.
s Psal. 4. 6. 135 [s] Llewyrcha dy wyneb ar dy was:
t Adn. 12, 26. a [t] dysg i mi dy ddeddfau.
136 [u] Afonydd o ddyfroedd a redant o'm
u Jer. 9. 1. a 14. 17. llygaid: am na chadwasant dy gyfraith
Edrych Ezec. 9. 4. di.

TSADI.

137 Cyfiawn ydwyt ti, O ARGLWYDD,
ac uniawn yw dy farnedigaethau.
138 Dy dystiolaethau y rhai a orchymyn-
† Heb. gyfiawnder a ffyddlondeb. aist, ydynt † gyfiawn, a ffyddlon iawn.
139 [x] Fy sêl a'm ‡ difaodd: o herwydd
i'm gelynion anghofio dy eiriau di.
140 [y] Purwyd dy ymadrodd yn ddir-
x Psal. 69. 9. fawr: am hynny y mae dy was yn ei
hoffi.
Ioan 2. 17. 141 Bychan ydwyf fi a dirmygus: ond
‡ Heb. torrodd ymaith. nid anghofiais dy orchymynion.
142 Dy gyfiawnder sydd gyfiawnder byth,
y Psal. 12. 6. a 18. 30. a'th gyfraith sydd wirionedd.
Diar. 30. 5. 143 Adfyd a chystudd a'm § goddi-
§ Heb. cawsant. weddasant: a'th orchymynion oedd fy ni-
grifwch.
144 Cyfiawnder dy dystiolaethau a bery
yn dragywydd: gwna i mi ddeall, a byw
fyddaf.

COPH. } { Prydnhawnol Weddi.

145 Llefais â'm holl galon; clyw fi, O
ARGLWYDD: dy ddeddfau a gadwaf.
|| Neu, fel y cadwyf. 146 Llefais arnat; achub fi, || a chadw-
af dy dystiolaethau.
147 [z] Achubais flaen y cyfddydd, a gwaedd-
z Psal. 5. 3. a 130. 6. ais; wrth dy air y disgwyliais.
a Psal. 63. 1, 6. 148 [a] Fy llygaid a achubasant flaen
gwyliadwriaethau'r nos, i fyfyrio yn dy air
di.
149 Clyw fy llef yn ol dy drugaredd:
b Adn. 40, 154. ARGLWYDD, [b] bywhâ fi yn ol dy farn-
edigaethau.
150 Y rhai a ddilynant ysgelerder a nes-
asant arnaf: ymbellasant oddi wrth dy gyf-
raith di.
151 Tithau, ARGLWYDD, wyt agos; a'th
holl orchymynion sydd wirionedd.
152 Er ys talm y gwyddwn am dy dyst-
iolaethau, seilio o honot hwynt yn dra-
gywydd.

RESH.

153 Gwel fy nghystudd, a gwared fi:
canys nid anghofiais dy gyfraith.
c Psal. 35. 1. 154 [c] Dadleu fy nadl, a gwared fi:
Micah 7. 9. [d] bywhâ fi yn ol dy air.
d Adn. 40. 155 [e] Pell yw iachawdwriaeth oddi wrth
e Job 5. 4. y rhai annuwiol: o herwydd ni cheisiant dy
ddeddfau di.
156 Dy drugareddau, ARGLWYDD, sydd
f Adn. 149. aml: [f] bywhâ fi yn ol dy farnedigaethau.
157 Llawer sydd yn fy erlid, ac yn fy
ngwrthwynebu; er hynny ni throais oddi
wrth dy dystiolaethau.
158 Gwelais y troseddwŷr, a gresynais
am na chadwent dy air di.
159 Gwel fy mod yn hoffi dy orchymyn-
g Adn. 88. ion: ARGLWYDD, [g] bywhâ fi yn ol dy
† Heb. Dechreuad dy air sydd wirionedd. drugarowgrwydd.
160 † Gwirionedd o'r dechreuad yw dy
air; a phob un o'th gyfiawn farnedigaethau
a bery yn dragywydd.

SCHIN.

161 Tywysogion a'm herlidiasant heb achos:
er hynny fy nghalon a grynai rhag dy air
di.
162 Llawen ydwyf fi oblegid dy air, fel
un yn cael ysglyfaeth lawer.
163 Celwydd a gaseais, ac a ffieiddiais:
a'th gyfraith di a hoffais.
164 Seithwaith yn y dydd yr ydwyf yn
dy glodfori; o herwydd dy gyfiawn farn-
edigaethau.
165 [h] Heddwch mawr fydd i'r rhai a h Diar. 3. 2.
garant dy gyfraith: ac nid oes dramgwydd
iddynt.
166 [i] Disgwyliais wrth dy iachawdwriaeth i Gen. 49. 18.
di, O ARGLWYDD; a gwnaethum dy orchy- Adn. 174.
mynion.
167 Fy enaid a gadwodd dy dystiolaeth-
au; a hoff iawn gennyf hwynt.
168 Cedwais dy orchymynion a'th dyst-
iolaethau: canys y mae fy holl ffyrdd ger
dy fron di.

TAU.

169 Nesaed fy ngwaedd o'th flaen, AR-
GLWYDD: gwna i mi ddeall yn ol dy air.
170 Deued fy ngweddi ger dy fron:
gwared fi yn ol dy air.
171 [k] Fy ngwefusau a draetha foliant, pan k Adn. 7.
ddysgech i mi dy ddeddfau.
172 Fy nhafod a ddatgan dy air: o her-
wydd dy holl orchymynion sydd gyfiawn-
der.
173 Bydded dy law i'm cynnorthwyo: o
herwydd [l] dy orchymynion di a ddewisais. l Jos. 24. 22. Diar. 1. 29.
174 [m] Hiraethais, O ARGLWYDD, am m Adn. 166.
dy iachawdwriaeth; [n] a'th gyfraith yw fy n Adn. 16, 24, 47, 77,
hyfrydwch. 111.
175 Bydded byw fy enaid, fel y'th fol-
ianno di; a chynnorthwyed dy farnedig-
aethau fi.
176 [o] Cyfeiliornais fel dafad wedi colli: o Esay 53. 6.
cais dy was; oblegid nid anghofiais dy or- Luc 15. 4, &c.
chymynion.

PSALM CXX. } { Boreol Weddi.

1 *Dafydd yn gweddio yn erbyn Doeg; 3 yn ceryddu ei dafod ef: 5 yn cwyno fod yn rhaid iddo gyttal a bucheddu gyd â'r enwir.*

¶ Caniad y graddau.

AR yr ARGLWYDD y gwaeddais [a] yn Cylch 1058.
fy nghyfyngder, ac efe a'm gwran-
dawodd i. a Psal. 118. 5.
2 ARGLWYDD, gwared fy enaid oddi
wrth wefusau celwyddog, ac oddi wrth dafod Jonah 2. 2.
twyllodrus.
3 † Beth a roddir i ti? neu pa beth a † Neu, Beth a rydd tafod twyllodrus i ti? neu, beth a chwanega i ti?
wneir i ti, dydi dafod twyllodrus?
4 Llymion saethau cawr, ynghŷd â mar-
wor meryw.
5 Gwae fi, fy mod yn preswylio ym Me-
sech, yn cyfanneddu [b] ym mhebyll Cedar.
6 Hir y trigodd fy enaid gyd â'r hwn b 1 Sam. 25. 1.
oedd yn casâu tangnefedd.
7 Heddychol ydwyf fi: ond pan lefarwyf, Jer. 49. 29.
y maent yn barod i ryfel.

PSALM CXXI.

*Mawr ddiogelwch y duwiol, sydd yn hyderu ar nawdd ac ymddiffyn Duw*

¶ Caniad y graddau.

† DYRCHAFAF fy llygaid i'r mynydd- † Neu, A ddyrchafaf fi, &c.
oedd, o'r lle y daw fy nghymmorth.
2 [a] Fy nghymmorth a ddaw oddi wrth Jer. 3. 23.
yr ARGLWYDD, yr hwn a wnaeth nefoedd a Psal. 124. 8.
a daear.

b Psal. 127. 1. Esay 27. 3. 3 Ni ād efe i'th droed lithro: ac b ni
buna dy geidwad.
4 Wele, ni buna ac ni chwsg ceidwad
Israel.
5 Yr ARGLWYDD yw dy geidwad: yr
c Esay 25. 4. ARGLWYDD yw c dy gysgod d ar dy ddc-
heulaw.
d Psal. 16. 8. a 109. 31. 6 e Ni'th dery'r haul y dydd, na'r lleuad
y nos.
e Psal. 91. 5. Esay 49. 10. 7 Yr ARGLWYDD a'th geidw rhag pob
Dat. 7. 16. drwg: efe a geidw dy enaid.
f Deut. 28. 6. 8 Yr ARGLWYDD f a geidw dy fynediad,
a'th ddyfodiad, o'r pryd hwn hyd yn dra-
gywydd.

## PSALM CXXII.

1 *Dafydd yn dangos ei lawenydd dros yr eglwys; 6 ac yn gweddio am heddwch iddi.*

¶ Caniad y graddau, o'r eiddo Dafydd.

LLAWENYCHAIS pan ddywedent wrth-
yf, Awn i dŷ'r ARGLWYDD.
2 Ein traed a safant o fewn dy byrth di,
O Jerusalem.
a Edrych 2 Sam. 5. 9. 3 Jerusalem a adeiladwyd fel dinas a wedi
ei chyd-gyssylltu ynddi ei hun.
b Exod. 23. 17. 4 b Yno'r esgyn y llwythau, llwythau'r
Deut. 16. 16. ARGLWYDD, c yn dystiolaeth i Israel, i
foliannu enw'r ARGLWYDD.
c Exod. 16. 34. 5 Canys yno † y gosodwyd gorsedd-feingc-
iau barn, gorsedd-feingciau tŷ Dafydd.
† Heb. yr eisteddl. 6 Dymunwch heddwch Jerusalem: llwydd-
ed y rhai a'th hoffant.
7 Heddwch fyddo o fewn dy ragfur, a
ffyniant yn dy balasau.
8 Er mwyn fy mrodyr a'm cyfeillion y
dywedaf yn awr, Heddwch fyddo i ti.
9 Er mwyn tŷ'r ARGLWYDD ein Duw,
d Neh. 2. 10. d y ceisiaf i ti ddaioni.

## PSALM CXXIII.

1 *Y duwiol yn dangos eu hyder ar Dduw; 3 ac yn gweddio ar gael eu gwared oddi wrth ddirmyg.*

¶ Caniad y graddau.

a Psal. 121. 1. ATTAT a ti y dyrchafaf fy llygaid, ti yr
b Psal. 115. 3. hwn b a breswyli yn y nefoedd.
2 Wele, fel y mae llygaid gweision ar law
eu meistraid, neu fel y mae llygaid llaw-
forwyn ar law ei meistres; felly y mae ein
llygaid ni ar yr ARGLWYDD ein Duw, hyd
oni thrugarhao efe wrthym ni.
3 Trugarhâ wrthym, ARGLWYDD, tru-
garhâ wrthym; canys llanwyd ni â dir-
myg yn ddirfawr.
4 Yn ddirfawr y llanwyd ein henaid â
gwatwargerdd y rhai goludog, ac â diys-
tyrwch y beilchion.

## PSALM CXXIV.

*Yr eglwys yn bendithio Duw am ei ryfeddol ymwared.*

¶ Caniad y graddau, o'r eiddo Dafydd.

ONI buasai yr ARGLWYDD yr hwn a
a Psal. 129. 1. fu gyd â ni, a y gall Israel ddywedyd
yn awr;
2 Oni buasai'r ARGLWYDD yr hwn a
fu gyd â ni, pan gyfododd dynion yn ein
herbyn:
3 Yna y'n llyngcasent ni yn fyw, pan
ennynodd eu llid hwynt i'n herbyn:
4 Yna y dyfroedd a lifasai drosom, y
ffrwd a aethai dros ein henaid:
5 Yna'r aethai dros ein henaid ddyfroedd
† beilchion. † chwyddedig.
6 Bendigedig fyddo'r ARGLWYDD, yr
hwn ni roddodd ni yn ysglyfaeth i'w dan-
b Psal. 91. 3. nedd hwynt.
Diar. 6. 5. 7 Ein henaid a ddïangodd b fel aderyn
o fagl yr adarwŷr: y fagl a dorrwyd, a
ninnau a ddïanghasom.
8 c Ein porth ni sydd yn enw'r AR- c Psal. 121. 2.
GLWYDD, yr hwn a wnaeth nefoedd a
daear.

## PSALM CXXV.

1 *Diogelwch y rhai sy'n ymddiried yn Nuw 4 Gweddi dros y duwiol, ac yn erbyn yr annuwiol.*

¶ Caniad y graddau.

YRhai a ymddiriedant yn yr ARGLWYDD,
fyddant fel mynydd Sion, yr hwn ni
syflir, ond a bery yn dragywydd.
2 Fel y mae Jerusalem a'r mynyddoedd
o'i hamgylch; felly y mae'r ARGLWYDD o
amgylch ei bobl, o'r pryd hwn hyd yn dra-
gywydd.
3 Canys a ni orphwys gwialen annuwiol- a Diar. 22. 8.
deb ar randir y rhai cyfiawn; rhag i'r rhai
cyfiawn estyn eu dwylaw at anwiredd. Esay 14. 5.
4 O ARGLWYDD, gwna ddaioni i'r rhai
daionus, ac i'r rhai uniawn yn eu calonnau.
5 Ond y rhai a ymdroant i'w b trofeydd, b Diar. 2. 15.
yr ARGLWYDD a'u gyr gyd â gweith-
redwŷr anwiredd: a bydd c tangnefedd ar c Psal. 128. 6.
Israel. Gal. 6. 16.

## PSALM CXXVI. Prydnhawnol Weddi.

1 *Yr eglwys, wrth ddangos coffa o'i rhyfeddol ymwared allan o gaethiwed, 4 yn gweddio am lwyddiant, ac yn ei brophwydo.*

¶ Caniad y graddau.

PAN † ddychwelodd yr ARGLWYDD † Heb. ddy-
gaethiwed Sion, a yr oeddym fel rhai chwelodd
yn breuddwydio. ddy-
2 Yna b y llanwyd ein genau â chwerthin, chwelind.
a'n tafod â chanu: yna y dywedasant ym a Act. 12. 9.
mysg y cenhedloedd, Yr ARGLWYDD a b Job 8. 21.
‡ wnaeth bethau mawrion i'r rhai hyn. ‡ Heb.
3 Yr ARGLWYDD a wnaeth i ni bethau fawr-
mawrion; am hynny'r ydym yn llawen. hawdd
4 Dychwel, ARGLWYDD, ein caethiwed wneuthur
ni, fel yr afonydd yn y dehau. i'r, &c.
5 c Y rhai sydd yn hau mewn dagrau, a c Edrych
fedant mewn § gorfoledd. Jer. 31. 9, &c.
6 Yr hwn sydd yn myned rhagddo, ac yn § Neu, cân.
wylo, gan ddwyn ‖ had gwerthfawr, gan
ddyfod a ddaw mewn gorfoledd, dan gludo ‖ Neu,
ei ysgubau. had-lestr.

## PSALM CXXVII.

1 *Rhinwedd bendithion Duw. 3 Dawn Duw yw plant rhinweddol.*

¶ Caniad y graddau † i Salomon. † Neu, o'r eiddo, Psal. 72. titl.

OS yr ARGLWYDD nid adeilada'r tŷ,
ofer y llafuria ei adeiladwŷr wrtho: a Psal. 121.
os a yr ARGLWYDD ni cheidw'r ddinas, 3, 4, 5.
ofer y gwylia'r ceidwad. b Gen. 33. 5. a 48. 4.
2 Ofer i chwi fore-godi, myned yn hwyr Jos. 24. 3, 4.
i gysgu, bwytta bara gofidiau: felly y rhydd c Deut. 28. 4.
efe hûn i'w anwylyd.
3 Wele, b plant ydynt etifeddiaeth yr AR- d Edrych
GLWYDD: c ei wobr ef yw ffrwyth y groth. Job 5. 4. Diar. 27. 11.
4 Fel y mae saethau yn llaw y cadarn;
felly y mae plant ieuengctid. ‡ Neu,
5 Gwyn ei fyd y gŵr a lanwodd ei gawell ddarost-
saethau â hwynt: d ni's gwaradwyddir hwy, yngant
pan ‡ ymddiddanant â'r gelynion yn y y gelynion;
porth. megis Psal. 18. 47; neu, ddi-
fethant.

## PSALM CXXVIII.

*Yr amryw fendithion sydd yn canlyn y rhai a ofnant Dduw.*

¶ Caniad y graddau.

a GWYN ei fyd pob un sydd yn ofni'r a Psal. 112.
ARGLWYDD; yr hwn sydd yn rhodio 1. a 115. 13.
yn ei ffyrdd ef. a 119. 1.

b Esay 3. 10. 2 b Canys mwynhâi lafur dy ddwylaw:
gwŷn dy fyd, a da *fydd* it'.
3 Dy wraig *fydd* fel gwinwŷdden ffrwyth-
lawn ar hŷd ystlysau dy dŷ: dy blant fel
planhigion olew-wŷdd o amgylch dy ford.
4 Wele, fel hyn yn ddïau y bendithir y
gwr a ofno'r ARGLWYDD.
c Psal. 134. 3. 5 c Yr ARGLWYDD a'th fendithia allan o
Sïon; a thi a gai weled daioni Jerusalem
holl ddyddiau dy einioes:
6 A thi a gai weled plant dy blant, *a*
d Psal. 125. 5. d thangnefedd ar Israel.

## PSALM CXXIX.

1 *Y mae'n annog i foliannu Duw, am gadw Israel yn ei fawr gystuddiau.* 5 *Melldithio'r rhai a gasânt eglwys Duw.*

¶ Caniad y graddau.

a Edrych Ezec. 23. 3. Hos. 2. 15. a 11. 1. LLAWER gwaith y'm cystuddiasant a o'm
hieuengctid, b y dichon Israel ddy-
wedyd yn awr:
b Psal. 124. 1. 2 Llawer gwaith y'm cystuddiasant o'm
hieuengctid: etto ni'm gorfuant.
3 Yr arddwŷr a arddasant ar fy nghefn:
estynasant eu cwysau yn hirion.
4 Yr ARGLWYDD *sydd* gyfiawn: efe a
dorrodd raffau y rhai annuwiol.
5 Gwaradwydder hwy oll, a gyrrer yn eu
hol, y rhai a gasânt Sïon.
6 Byddant fel glaswellt pen tai, yr hwn a
† tyfo. wywa cyn y † tynner ef ymaith:
7 A'r hwn ni leinw y pladurwr ei law;
na'r hwn fyddo yn rhwymo yr ysgubau, ei
fynwes.
8 Ac ni ddywed y rhai a ant heibio,
c Ruth 2. 4. c Bendith yr ARGLWYDD arnoch: bendi-
thiwn chwi yn enw'r ARGLWYDD.

## PSALM CXXX.

1 *Y Psalmydd yn dangos ei obaith mewn gweddi;* 5 *a'i ddïoddefgarwch mewn gobaith.* 7 *Y mae yn annog Israel i obeithio yn Nuw.*

¶ Caniad y graddau.

a Galar. 3. 55. Jonah 2. 2. O'R a dyfnder y llefais arnat, O AR-
GLWYDD.
b Psal. 143. 2. 2 ARGLWYDD, clyw fy llefain; ystyried
dy glustiau wrth lef fy ngweddïau.
c 1 Bren. 8. 40. Psal. 2. 11. Jer. 33. 9. 3 b Os creffi ar anwireddau, ARGLWYDD:
O ARGLWYDD, pwy a saif?
4 Ond *y mae* gyd â thi faddeuant, fel
d Psal. 27. 14. a 33. 20. a 40. 1. Esay 8. 17. a 30. 18. c y'th ofner.
5 d Disgwyliaf am yr ARGLWYDD,
disgwyl fy enaid, ac yn ei air ef y go-
beithiaf.
e Psal. 63. 6. a 119. 147. 6 e Fy enaid *sydd yn disgwyl* am yr AR-
GLWYDD yn fwy nag *y mae* y gwylwŷr am
† Neu, *y rhai sydd yn gwylied am y bore.* y bore; † *yn fwy nag y mae* y gwylwŷr am
y bore.
7 Disgwylied Israel am yr ARGLWYDD:
o herwydd f *y mae* trugaredd gyd â'r AR-
f Psal. 86. 5, 15. GLWYDD, ac aml ymwared gyd ag ef.
8 Ac g efe a wared Israel oddi wrth ei
g Psal. 103. 3, 4. holl anwireddau.

## PSALM CXXXI.

1 *Dafydd yn dangos ei ostyngeiddrwydd;* 3 *ac yn annog Israel i obeithio yn Nuw.*

¶ Caniad y graddau, o'r eiddo Dafydd.

O ARGLWYDD, nid ymfalchïodd fy ngha-
lon, ac nid ymddyrchafodd fy llygaid:
a Rhuf. 12. 16. a ni rodiais chwaith mewn pethau rhŷ fawr,
† Heb. *ryfedd.* a rhŷ † uchel i mi.
2 Eithr gosodais a gostegais fy enaid,
b Mat. 18. 3. 1 Cor. 14. 20. b fel un wedi ei ddiddyfnu oddi wrth ei
fam: fy enaid *sydd* ynof fel un wedi ei
ddiddyfnu.

3 Disgwylied Israel wrth yr ARGLWYDD,
o'r ‡ pryd hwn hyd yn dragywydd. ‡ Heb. *awr hon.*

## PSALM CXXXII. { *Boreol Weddi.*

1 *Dafydd yn ei weddi yn dangos i Dduw ei dduwiol ofal dros yr arch:* 8 *yn gweddïo wrth symmudo yr arch;* 11 *ac yn ail-adrodd addewidion Duw iddo.*

¶ Caniad y graddau.

O ARGLWYDD, cofia Ddafydd, a'i holl 1004.
flinder:
2 Y modd y tyngodd efe wrth yr AR-
GLWYDD, *ac* yr addunodd i a rymmus a Gen. 49. 24.
*DDUW* Jacob.
3 Ni ddeuaf i fewn pabell fy nhŷ, ni
ddringaf ar erchwyn fy ngwely; b Diar. 6. 4.
4 b Ni roddaf gwsg i'm llygaid, *na* hûn
i'm hamrantau, † Heb. *preswylfeydd.*
5 Hyd oni chaffwyf le i'r ARGLWYDD,
† preswylfod i rymmus *DDUW* Jacob. c 1 Sam. 7. 1.
6 Wele, clywsom am dani yn Ephratah:
c cawsom hi ym meusydd y coed. d Psal. 5. 7. a 99. 5.
7 Awn i'w bebyll ef; d ymgrymmwn o
flaen ei faingc draed ef. e Num. 10. 35.
8 e Cyfod, ARGLWYDD, i'th orphwysfa; 2 Chron. 6. 41, 42.
ti, ac arch dy gadernid.
9 f Gwisged dy offeiriaid gyfiawnder; a f Job 29. 14. Esay 61. 10.
gorfoledded dy saint.
10 Er mwyn Dafydd dy was, na thro g Psal. 89. 3, 4, 33, &c. a 110. 4.
ymaith wyneb dy Enneiniog.
11 g Tyngodd yr ARGLWYDD *mewn* gwi- h 2 Sam. 7. 12.
rionedd i Ddafydd; ni thry efe oddi wrth
hynny; h O ffrwyth dy ‡ gorph y gosodaf 1 Bren. 8. 25.
ar dy orseddfaingc. 2 Chron. 6. 16.
12 Os ceidw dy feibion fy nghyfammod Luc 1. 69.
a'm § tystiolaeth, y rhai a ddysgwyf idd- Act. 2. 30.
ynt; eu meibion hwythau yn dragywydd a ‡ Heb. *fru.*
eisteddant ar dy orseddfaingc. § *tystiolaethau.*
13 Canys dewisodd yr ARGLWYDD Sïon;
*ac* a'i chwennychodd yn drigfa iddo ei i Psal. 68. 16.
hun.
14 i Dyma fy ngorphwysfa yn dragy- k Psal. 147. 14.
wydd: yma y trigaf; canys chwennychais
hi. l 2 Chron. 6. 41.
15 k Gan fendithio y bendithiaf ei llun- Psal. 149. 4.
iaeth: diwallaf ei thlodion â bara. m Ezec. 29. 21.
16 l Ei hoffeiriaid hefyd a wisgaf ag
iachawdwriaeth: a'i saint dan ganu a Luc 1. 69.
ganant. ‖ Neu, *ganwyll.*
17 m Yna y paraf i gorn Dafydd flaguro: Edrych
darperais ‖ lamp i'm Henneiniog. 1 Bren. 11. 36. a 15. 4.
18 Ei elynion ef a wisgaf â chywilydd: 2 Chron. 21. 7.
arno yntau y blodeua ei goron.

## PSALM CXXXIII.

*Budd cymmundeb y saint.*

¶ Caniad y graddau, o'r eiddo Dafydd.

WELE, mor ddaionus ac mor hyfryd *yw*
a trigo o frodyr ynghŷd. a Gen. 13. 8.
2 *Y mae* fel b yr ennaint gwerthfawr ar y
pen, yn disgyn ar hŷd y farf, *sef* barf Aaron; b Exod. 30. 25, 30.
yr hwn *oedd* yn disgyn ar hŷd ymyl ei
wisgoedd ef: c Deut. 4. 48.
3 Fel gwlith c Hermon, *ac fel y gwlith*
yn disgyn ar fynyddoedd Sïon: canys d yno d Lef. 25. 21.
y gorchymynodd yr ARGLWYDD y fendith, Deut. 28. 8.
*sef* bywyd yn dragywydd. Psal. 42. 8.

## PSALM CXXXIV.

*Y mae'n annog i fendithio Duw.*

¶ Caniad y graddau.

WELE, a holl weision yr ARGLWYDD, a Psal. 135. 1, 2.
bendithiwch yr ARGLWYDD, b y rhai
ydych yn sefyll yn nhŷ'r ARGLWYDD y nos. b 1 Chron. 9. 33.

2 Dyrchefwch eich dwylaw † yn y cys-
segr; a bendithiwch yr ARGLWYDD.
3 [c] Yr ARGLWYDD yr hwn a wnaeth
nefoedd a daear, a'th fendithio di allan o
Sïon.

## PSALM CXXXV.

*1 Y mae'n annog i glodfori Duw, am ei drugaredd, 5 am ei allu, 8 ac am ei farnedigaethau. 15 Ofered yw eulunod. 19 Y mae'n annog i fendithio Duw.*

MOLWCH yr ARGLWYDD. Molwch
enw'r ARGLWYDD; [a] gweision yr
ARGLWYDD, molwch ef.
2 Y rhai ydych yn sefyll yn nhŷ'r AR-
GLWYDD, ynghynteddoedd tŷ ein Duw ni,
3 [b] Molwch yr ARGLWYDD; canys da
yw'r ARGLWYDD: cenwch i'w enw; canys
hyfryd yw.
4 Oblegid [c] yr ARGLWYDD a ddethol-
odd Jacob iddo ei hun, ac Israel yn briod-
oriaeth iddo.
5 Canys mi a wn mai [d] mawr yw'r AR-
GLWYDD; a bod ein HARGLWYDD ni gor-
uwch yr holl dduwiau.
6 [e] Yr ARGLWYDD a wnaeth yr hyn oll
a fynnai yn y nefoedd, ac yn y ddaear, yn
y môr, ac yn yr holl ddyfnderau.
7 [f] Y mae yn codi tarth o eithafoedd y
ddaear; [g] mellt a wnaeth efe ynghŷd â'r gw-
law; gan ddwyn y gwŷnt allan o'i drysorau.
8 [h] Yr hwn a darawodd gyntaf-anedig yr
Aipht, † yn ddyn ac yn anifail.
9 [i] Danfonodd arwyddion a rhyfeddodau
i'th ganol di, yr Aipht; ar Pharaoh, ac ar ei
holl weision.
10 [k] Yr hwn a darawodd genhedloedd
lawer, ac a laddodd frenhinoedd cryfion;
11 Sehon brenhin yr Amoriaid, ac Og
brenhin Basan, a [l] holl frenhiniaethau
Canaan:
12 [m] Ac a roddodd eu tir hwynt yn eti-
feddiaeth, yn etifeddiaeth i Israel ei bobl.
13 [n] Dy enw, O ARGLWYDD, a bery
yn dragywydd; dy goffadwriaeth, O AR-
GLWYDD, ‡ o genhedlaeth i genhedlaeth.
14 [o] Canys yr ARGLWYDD a farna ei bobl,
a bydd edifar gantho o ran ei weision.
15 [p] Delwau'r cenhedloedd ydynt arian ac
aur, gwaith dwylaw dyn.
16 Genau sydd iddynt, ond ni lefarant;
llygaid sydd ganddynt, ond ni welant.
17 Y mae clustiau iddynt, ond ni chlyw-
ant; nid oes chwaith anadl yn eu genau.
18 Fel hwynt y mae y rhai a'u gwnant, a
phob un a ymddiriedo ynddynt.
19 [q] Tŷ Israel, bendithiwch yr AR-
GLWYDD: bendithiwch yr ARGLWYDD, tŷ
Aaron.
20 Tŷ Lefi, bendithiwch yr ARGLWYDD:
y rhai a ofnwch yr ARGLWYDD, bendithiwch
yr ARGLWYDD.
21 Bendithier yr ARGLWYDD [r] o Sïon,
yr hwn sydd yn trigo yn Jerusalem. Mo-
lwch yr ARGLWYDD.

## PSALM CXXXVI. { Prydnhawnol Weddi.

*Y mae'n annog i foliannu Duw am ei drugareddau neilltuol.*

[a] CLODFORWCH yr ARGLWYDD; canys
da yw: [b] o herwydd ei drugaredd sydd
yn dragywydd.
2 Clodforwch [c] DDUW y duwiau: oble-
gid ei drugaredd sydd yn dragywydd.
3 Clodforwch ARGLWYDD yr arglwyddi:
o herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd.

† Neu, mewn sancteiddrwydd. c Psal. 128. 5.
a Psal. 134. 1. b Psal. 147. 1. c Exod. 19. 5. Deut. 7. 6, 7. a 10. 15. d Psal. 95. 3. a 97. 9. e Psal. 115. 3. f Jer. 10. 13. a 51. 16. g Job 28. 25, 26. a 38. 24, &c. Zech. 10. 1. h Exod. 12. 12, 29. Psal. 78. 51. a 136. 10. † Heb. o ddyn hyd anifail. i Exod. 7, a 8, a 9, a 10, a 14. k Num. 21. 24, 25, 26, 34, 35. Psal. 136. 17, &c. l Jos. 12. 7. m Psal. 78. 55. a 136. 21, 22. n Exod. 3. 15. Psal. 102. 12. ‡ Heb. i genhedlaeth a chenhedlaeth. o Deut. 32. 36. p Psal. 115. 4-11. q Psal. 115. 9, &c. r Psal. 134. 3.
a Psal. 106. 1. a 107. 1. a 118. 1. b 1 Chron. 16. 34, 41. c Deut. 10. 17.

4 [d] Yr hwn yn unig sydd yn gwneuthur
rhyfeddodau: canys ei drugaredd sydd yn
dragywydd.
5 [e] Yr hwn a wnaeth y nefoedd mewn
doethineb: o herwydd ei drugaredd sydd yn
dragywydd.
6 [f] Yr hwn a estynodd y ddaear oddi ar
y dyfroedd: oblegid ei drugaredd sydd yn
dragywydd.
7 [g] Yr hwn a wnaeth oleuadau mawrion:
canys ei drugaredd sydd yn dragywydd:
8 [h] Yr haul, i † lywodraethu'r dydd:
canys ei drugaredd sydd yn dragywydd:
9 Y lleuad a'r sêr, i lywodraethu'r nos:
canys ei drugaredd sydd yn dragywydd.
10 [i] Yr hwn a darawodd yr Aipht yn eu
cyntaf-anedig: o herwydd ei drugaredd sydd
yn dragywydd:
11 [k] Ac a ddug Israel o'u mysg hwynt: o
herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd:
12 [l] A llaw gref, ac â braich estynedig: o
herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd.
13 [m] Yr hwn a rannodd y môr coch yn
ddwy ran: o herwydd ei drugaredd sydd yn
dragywydd.
14 Ac a wnaeth i Israel fyned trwy ei
ganol: o herwydd ei drugaredd sydd yn
dragywydd.
15 [n] Ac a ysgytiodd Pharaoh a'i lu yn y
môr coch: o herwydd ei drugaredd sydd yn
dragywydd.
16 [o] Ac a dywysodd ei bobl trwy'r an-
ialwch: o herwydd ei drugaredd sydd yn
dragywydd.
17 [p] Yr hwn a darawodd frenhinoedd
mawrion: o herwydd ei drugaredd sydd yn
dragywydd:
18 [q] Ac a laddodd frenhinoedd ardder-
chog: o herwydd ei drugaredd sydd yn
dragywydd:
19 [r] Sehon brenhin yr Amoriaid: o her-
wydd ei drugaredd sydd yn dragywydd:
20 [s] Ac Og brenhin Basan: o herwydd
ei drugaredd sydd yn dragywydd:
21 [t] Ac a roddodd eu tir hwynt yn eti-
feddiaeth: o herwydd ei drugaredd sydd yn
dragywydd:
22 Yn etifeddiaeth i Israel ei was: o her-
wydd ei drugaredd sydd yn dragywydd.
23 Yr hwn yn ein hiselradd a'n cofiodd
ni: o herwydd ei drugaredd sydd yn dragy-
wydd:
24 Ac a'n hachubodd ni oddi wrth ein
gelynion: o herwydd ei drugaredd sydd yn
dragywydd.
25 [u] Yr hwn sydd yn rhoddi ymborth i
bob cnawd: canys ei drugaredd sydd yn
dragywydd.
26 Clodforwch DDUW'r nefoedd: canys
ei drugaredd sydd yn dragywydd.

## PSALM CXXXVII.

*1 Dianwadalwch yr Iuddewon mewn caethiwed. 7 Y prophwyd yn melldithio Edom a Babel.*

WRTH afonydd † Babilon, yno yr ei- Cylch
steddasom, ac wylasom, pan feddy- 570.
liasom am Sïon.
2 Ar yr helyg o'u mewn y crogasom ein
telynau.
3 Canys yno y gofynodd y rhai a'n caethi-
wasent i ni ‡ gân; a'r rhai a'n § [a] han-
rheithiasai, lawenydd, gan ddywedyd; Cen-
wch i ni rai o ganiadau Sïon.

d Psal. 72. 18. e Gen. 1. 1. Diar. 3. 19. Jer. 51. 15. f Gen. 1. 9. Psal. 24. 2. Jer. 10. 12. g Gen. 1. 14. h Gen. 1. 16. † Heb. lywodraeth y dydd. i Exod. 12. 29. k Exod. 12. 51. a 13. 17. l Exod. 6. 6. m Exod. 14. 21, 22. Psal. 78. 13. n Exod. 14. 28. o Exod. 15. 22. p Psal. 135. 10, 11. q Deut. 29. 7. r Num. 21. 23. s Num. 21. 33. t Jos. 12. 1, &c. Psal. 135. 12. u Psal. 104. 27. a 145. 15. a 147. 9.
† Neu, Babilon yr eisteddasom, ac a, &c. ‡ Heb. eiriau cân. § Neu, gwnaethant yn garneddau, neu, yn bentyrrau. a Psal. 79. 1.

4 Pa fodd y canwn gerdd yr ARGLWYDD
mewn gwlad ddïeithr?
5 Os anghofiaf di, Jerusalem, anghofied
fy neheulaw *ganu*.
6 Glyned fy nhafod wrth daflod fy ngen-
au, oni chofiaf di; oni chodaf Jerusalem
goruwch † fy llawenydd pennaf.
7 Cofia, ARGLWYDD, [b] blant Edom yn
nydd Jerusalem; y rhai a ddywedant,
Dinoethwch, dinoethwch *hi*, hyd ei syl-
faen.
8 O ferch Babilon, [c] a anrheithir: gwŷn
*ei* fyd [d] ‡ a dalo i ti fel y gwnaethost i nin-
nau.
9 Gwŷn *ei* fyd a gymmero ac [e] a darawo
dy rai bach wrth y § meini.

† Heb. *fy mhen-llawenydd.* — [b] Jer. 49. 7. Ezec. 25. 12. Obad. 10, &c. Galar. 4. 22. 1 Esdras 4. 45. — [c] Esay 13. 1. a 47. 1. Jer. 25. 12. a 50. 2. — [d] Jer. 50. 15, 29. Dat. 18. 6. — ‡ Heb. *a dalo i ti daledigaeth, fel y telaist i ninnau.* — [e] Esay 13. 16. — § Heb. *graig.*

## PSALM CXXXVIII.

1 *Dafydd yn moliannu Duw am wirionedd ei air:* 4 *yn prophwydo y bydd i frenhinoedd y ddaear foliannu Duw:* 7 *yn dangos ei ymddiried yn Nuw.*

¶ *Psalm* Dafydd.

CLODFORAF di â'm holl galon: [a] yng-
ŵydd y duwiau y canaf it'.
2 [b] Ymgrymmaf [c] tu a'th deml sanctaidd,
a chlodforaf dy enw, am dy drugaredd a'th
wirionedd: oblegid ti a fawrheaist dy air
uwch law dy enw oll.
3 Y dydd y llefais, y'm gwrandewaist; ac
a'm cadarnheaist â nerth yn fy enaid.
4 [d] Holl frenhinoedd y ddaear a'th glod-
forant, O ARGLWYDD, pan glywant eiriau
dy enau.
5 Canant hefyd am ffyrdd yr ARGLWYDD:
canys mawr *yw* gogoniant yr ARGLWYDD.
6 [e] Er *bod* yr ARGLWYDD yn uchel, etto
[f] efe a edrych ar yr isel: ond y balch a ed-
wyn efe o hirbell.
7 Pe rhodiwn ynghanol cyfyngder, ti a'm
bywhâit: estynit dy law yn erbyn digofaint
fy ngelynion, a'th ddeheulaw a'm hachu-
bai.
8 [g] Yr ARGLWYDD a gyflawna â mi: dy
drugaredd, ARGLWYDD, *sydd* yn dragy-
wydd: [h] nac esgeulusa waith dy ddwylaw.

[a] Psal. 119. 46. — [b] Psal. 28. 2. — [c] 2 Bren. 8. 29, 30. — [d] Psal. 102. 15, 22. — [e] Psal. 113. 5, 6. Esay 57. 15. — [f] Iago 4. 6. 1 Petr 5. 5. — [g] Psal. 57. 2. Phil. 1. 6. — [h] Edrych Job 10. 8.

## PSALM CXXXIX. { *Boreol Weddi.*

1 *Dafydd yn moliannu Duw am ei ragluniaeth sydd yn canfod pob peth:* 19 *yn ffieiddio'r annuwiol:* 23 *yn gweddïo am burdeb.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

ARGLWYDD, [a] chwiliaist, ac adnabu-
ost fi.
2 [b] Ti a adwaenost fy eisteddiad a'm
cyfodiad: dealli fy meddwl o bell.
3 Amgylchyni fy llwybr a'm gorweddfa;
a hyspys wyt *yn* fy holl ffyrdd.
4 Canys nid *oes* air ar fy nhafod, *ond* wele,
ARGLWYDD, ti a'i gwyddost oll.
5 Amgylchynaist fi yn ol ac ym mlaen, a
gosodaist dy law arnaf.
6 [c] *Dyma* wybodaeth rŷ ryfedd i mi:
uchel yw, ni fedraf oddi wrthi.
7 [d] I ba le yr af oddi wrth dy yspryd? ac
i ba le y ffoaf o'th ŵydd?
8 [e] Os dringaf i'r nefoedd, yno *yr wyt* ti:
[f] os cyweiriaf fy ngwely yn uffern, wele di
*yno.*
9 *Pe* cymmerwn adenydd y wawr, *a phe*
trigwn yn eithafoedd y môr;
10 Yno hefyd y'm tywysai dy law, ac
y'm daliai dy ddeheulaw.
11 Pe dywedwn, Diau y tywyllwch a'm
cuddiai; yna y byddai y nos yn oleuni o'm
hamgylch.
12 [g] Ni thywylla y tywyllwch rhagot ti;
ond y nos a oleua fel dydd: † un ffunud *yw*
tywyllwch a goleuni *i ti.*
13 Canys ti a feddiennaist fy arennau:
toaist fi ynghrôth fy mam.
14 Clodforaf di; canys ofnadwy *a* rhy-
fedd y'm gwnaed: rhyfedd *yw* dy weith-
redoedd; a'm henaid a ŵyr *hynny* yn ‡ dda.
15 [h] Ni chuddiwyd fy § sylwedd oddi
wrthyt, pan y'm gwnaethpwyd yn ddirgel,
*ac* y'm cywreiniwyd yn iselder y ddaear.
16 Dy lygaid a welsant fy anelwig ddef-
nydd; ac yn dy lyfr di yr ysgrifenwyd
|| *hwynt* oll, y dydd y † lluniwyd hwynt, pan
nad *oedd* yr un o honynt.
17 [i] Am hynny mor werthfawr yw dy
feddyliau gennyf, O DDUW! mor fawr yw
eu swm hwynt!
18 *Pe* cyfrifwn hwynt, amlach ydynt nâ'r
tywod: pan ddeffrowyf, gyd â thi'r ydwyf
yn wastad.
19 Yn ddïau, O DDUW, ti a leddi'r an-
nuwiol: am hynny y gwŷr gwaedlyd, [k] cil-
iwch oddi wrthyf:
20 Y rhai a ddywedant ysgelerder yn dy
erbyn; dy elynion a gymmerant *dy enw* yn
ofer.
21 [l] Onid cas gennyf, O ARGLWYDD,
dy gaseion di? onid ffiaidd gennyf y rhai a
gyfodant i'th erbyn?
22 A chas cyflawn y caseais hwynt: cyf-
rifais hwynt i mi yn elynion.
23 [m] Chwilia fi, O DDUW, a gwybydd
fy nghalon: prawf fi, a gwybydd fy me-
ddyliau.
24 A gwel a *oes* ffordd ‡ annuwiol gen-
nyf, a [n] thywys fi yn y ffordd dragy-
wyddol.

[a] Jer. 12. 3. — [b] 2 Bren. 19. 27. — [c] Job 42. 3. Psal. 40. 5. — [d] Jer. 23. 24. — [e] Amos 9. 2, 3, 4. — [f] Diar. 15. 11. — [g] Job 26. 6. a 34. 22. Heb. 4. 13. — † Heb. *fel y tywyllwch, felly y mae'r goleuni.* — ‡ Heb. *odieth.* — [h] Job 10. 8, 10. Preg. 11. 5. — § Neu, *nerth,* neu, *nghorph,* neu, *essyrn.* — || *fy aelodau oll.* — † *llunid.* — [i] Psal. 40. 5. — [k] Psal. 119. 115. — [l] 2 Chron. 19. 2. Psal. 119. 158. — [m] Job 31. 6. Psal. 26. 2. — ‡ Heb. *gofid,* neu, *dristwch.* — [n] Psal. 5. 8. a 143. 10.

## PSALM CXL.

1 *Dafydd yn gweddïo am gael ei waredu oddi wrth Saul a Doeg:* 8 *yn gweddïo yn eu byn hwy:* 12 *yn ymgysuro, trwy ymddiried yn Nuw.*

¶ I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

GWARED fi, O ARGLWYDD, oddi wrth
y dyn drwg: [a] cadw fi rhag y gwr
† traws.
2 Y rhai sydd yn bwriadu drygioni yn *eu*
calon: ymgasglant beunydd i ryfel.
3 Golymmasant eu tafodau fel sarph:
[b] gwenwyn asp *sydd* dan eu gwefusau.
Selah.
4 [c] Cadw fi, O ARGLWYDD, rhag dwy-
law'r annuwiol; [d] cadw fi rhag y ‡ gwr
traws: y rhai a fwriadasant fachellu fy
nhraed.
5 [e] Y beilchion a guddiasant faglau i mi,
*ac* a estynasant rwyd wrth dannau ar ymyl
y llwybrau: gosodasant hoenynnau ar fy
medr. Selah.
6 Dywedais wrth yr ARGLWYDD, Fy
NUW *ydwyt* ti: clyw, O ARGLWYDD, lef
fy ngweddïau.
7 ARGLWYDD DDUW, nerth fy iachawd-
wriaeth, gorchuddiaist fy mhen yn nydd
brwydr.
8 Na chaniattâ, ARGLWYDD, ddymuniad
yr annuwiol: na lwydda ei ddrwg feddwl;
[f] § *rhag* eu balchïo hwynt. Selah.

[a] Adn. 4. — † Heb. *trais.* — [b] Psal. 58. 4. Rhuf. 3. 13. — [c] Psal. 71. 4. — [d] Adn. 1. — ‡ *gwr ŷr.* — [e] Psal. 35. 7. a 57. 6. a 119. 110. a 141. 9. Jer. 18. 22. — [f] Deut. 32. 27. — § Heb. *nac ymddyrchafant.*

9 Y pennaf o'r rhai a'm hamgylchyno,
[g] blinder eu gwefusau a'u gorchuddio.
10 [h] Syrthied marwor arnynt: *a* bwrier
hwynt yn tân; *ac* mewn ceu-ffosydd, fel na
chyfodant.
11 Na sicrhaer dyn † siaradus ‡ ar y
ddaear: drwg a hela y gwr traws i'w ddis-
tryw.
12 Gwn y dadleu'r ARGLWYDD ddadl y
truan, *ac* y barna efe y tlodion.
13 Y cyfiawn yn ddïau a glodforant dy
enw di: y rhai uniawn a drigant ger dy
fron di.

[g] Psal. 7. 16. a 94. 23. Diar. 12. 13. a 18. 7.
[h] Psal. 11. 6.
† Heb. *tafod.*
‡ Neu, *y gwr traws, drwg, ar y ddaear: heliêr ef i'w ddistryw.*

## PSALM CXLI.

1 *Dafydd yn gweddïo ar fod ei arch ef yn gymmeradwy,* 3 *a'i gydwybod yn bur,* 7 *a'i einioes yn ddïogel oddi wrth faglau.*

¶ Psalm Dafydd.

ARGLWYDD, yr wyf yn gwaeddi arnat:
brysia attaf; clyw fy llais, pan lefwyf
arnat.
2 Cyfeirier [a] fy ngweddi ger dy fron *fel*
arogl-darth, *a* [b] dyrchafiad fy nwylaw *fel*
yr offrwm prydnhawnol.
3 Gosod, ARGLWYDD, gadwraeth o
flaen fy ngenau: cadw ddrws fy ngwe-
fusau.
4 Na ostwng fy nghalon at *ddim* drwg, i
fwriadu gweithredoedd drygioni gyd â gwŷr
a weithredant anwiredd: ac na ad i mi
fwytta o'u dainteithion hwynt.
5 [c] Cured y cyfiawn fi † yn garedig, a
cherydded fi: ‡ na thorred *eu* holew pen-
naf *hwynt* fy mhen: canys fy ngweddi *fydd*
etto yn eu drygau hwynt.
6 Pan dafler eu barnwŷr i lawr mewn lle-
oedd carregog, clywant fy ngeiriau; canys
melus ydynt.
7 Y mae ein hesgyrn ar wasgar ar fin y
bedd, megis un yn torri neu yn hollti *coed*
ar y ddaear.
8 Eithr [d] arnat ti, O Arglwydd DDUW,
*y mae* fy llygaid: ynot ti y gobeithiais; § na
ad fy enaid yn ddïymgeledd.
9 Cadw fi rhag [e] y fagl a osodasant i mi, a
hoenynnau gweithredwŷr anwiredd.
10 [f] Cyd-gwymped y rhai annuwiol yn
eu rhwydau eu hun, tra'r elwyf fi heibio.

[a] Dat. 5. 8. a 8. 3, 4.
[b] Psal. 134. 2.
[c] Diar. 9. 8. a 19. 25. a 25. 12.
† Neu, *caredigrwydd fydd.*
‡ Neu, *olew rhagorol fydd, yr hwn ni thyr fy mhen.*
[d] 2 Chron. 20. 12. Psal. 123. 1, 2.
§ Heb. *na noetha fy enaid.*
[e] Psal. 119. 110. a 140. 5. a 142. 3.
[f] Psal. 35. 8.

## PSALM CXLII. } { *Prydnhawnol Weddi.*

*Dafydd yn dangos mai gweddïo Duw oedd ei holl gysur ef mewn trallod.*

¶ [a] † Maschil Dafydd; Gweddi [b] pan oedd efe yn yr ogof.

GWAEDDAIS â'm llef ar yr AR-
GLWYDD; â'm llef yr ymbiliais â'r AR-
GLWYDD.
2 [c] Tywalltais fy myfyrdod o'i flaen ef; a
mynegais fy nghystudd ger ei fron ef.
3 Pan [d] ballodd fy yspryd o'm mewn, ti-
thau a adwaenit fy llwybr. [e] Yn y ffordd y
rhodiwn, y cuddiasant i mi fagl.
4 [f] ‡ Edrychais ar y tu dehau, a § deliais
sulw, ac [g] nid *oedd* neb a'm hadwaenai:
‖ pallodd nodded i mi; nid *oedd* neb yn
ymofyn am fy enaid.
5 Llefais arnat, O ARGLWYDD; *a* dy-
wedais, [h] Ti *yw* fy ngobaith, [i] *a'm* rhan [k] yn
nhir y rhai byw.
6 Ystyr wrth fy ngwaedd; canys truan
iawn ydwyf: gwared fi oddi wrth fy erlid-
wŷr; canys trech ydynt nâ mi.
7 Dwg fy enaid allan o garchar, fel y
moliannwyf dy enw: [l] y rhai cyfiawn a'm
cylchynant; canys ti a fyddi da wrthyf.

[a] Psal. 57. titl.
† Neu, *Psalm Dafydd, yn rhoi athrawiaeth.*
[b] 1 Sam. 22. 1. a 24. 3.
[c] Psal. 102. titl.
[d] Psal. 143. 4.
[e] Psal. 140. 5.
[f] Psal. 69. 20.
‡ Neu, *Edrych.*
§ Neu, *gwel.*
[g] Psal. 31. 11. a 88. 8, 18.
‖ Heb. *collasai nodded oddi wrthyf.*
[h] Psal. 46. 1. a 91. 2.
[i] Psal. 16. 5. a 73. 26. a 119. 57. Galar. 3. 24.
[k] Psal. 27. 13.
[l] Psal. 34. 2.

## PSALM CXLIII.

1 *Dafydd yn gweddïo am ffafr mewn barn:* 3 *yn cwyno rhag ei ofidiau:* 5 *yn cadarnhâu ei ffydd trwy fyfyrio a gweddïo:* 7 *yn gweddïo am ras,* 9 *am ymwared,* 10 *am sancteiddrwydd,* 12 *am ddinystr ar ei elynion.*

¶ Psalm Dafydd.

ARGLWYDD, clyw fy ngweddi, a
gwrando ar fy neisyfiadau: [a] erglyw
fi yn dy wirionedd, *ac* yn dy gyfiawnder.
2 Ac na ddos i farn â'th was: o her-
wydd [b] ni chyfiawnhêir neb byw yn dy
olwg di.
3 Canys y gelyn a erlidiodd fy enaid:
curodd fy enaid i lawr: gwnaeth i mi drigo
mewn tywyllwch, fel y rhai a fu feirw er ys
talm.
4 Yna [c] y pallodd fy yspryd o'm mewn:
*ac* y synnodd fy nghalon ynof.
5 [d] Cofiais y dyddiau gynt; myfyriais ar
dy holl waith: *ac* yngweithredoedd dy
ddwylaw y myfyriaf.
6 [e] Lledais fy nwylaw attat: [f] fy enaid
fel tir sychedig *sydd yn hiraethu* am danat.
Selah.
7 O ARGLWYDD, gwrando fi yn eb-
rwydd: pallodd fy yspryd: na chuddia dy
wyneb oddi wrthyf; [g] † rhag fy mod yn
gyffelyb i'r rhai a ddisgynant i'r pwll.
8 Par i mi glywed dy drugarowgrwydd
[h] y bore; o herwydd ynot ti y gobeithiaf:
[i] par i mi wybod y ffordd y rhodiwyf; oble-
gid [k] attat ti y dyrchafaf fy enaid.
9 Gwared fi oddi wrth fy ngelynion, O
ARGLWYDD: ‡ gyd â thi'r ymguddiais.
10 [l] Dysg i mi wneuthur dy ewyllys di;
canys ti *yw* fy NUW: § tywysed dy yspryd
daionus fi i [m] dir uniondeb.
11 [n] Bywhâ fi, O ARGLWYDD, er mwyn
dy enw: dwg fy enaid allan o ing, er mwyn
dy gyfiawnder.
12 Ac er dy drugaredd dinystria fy nge-
lynion, a difetha holl gystuddwŷr fy enaid:
oblegid [o] dy was di *ydwyf* fi.

[a] Psal. 31. 1.
[b] Exod. 34. 7. Job 4. 17. a 9. 2. a 15. 14. a 25. 4. Preg. 7. 20. Rhuf. 3. 20. Gal. 2. 16.
[c] Psal. 142. 3.
[d] Psal. 77. 5, 10, 11.
[e] Psal. 88. 9.
[f] Psal. 63. 1.
[g] Psal. 28. 1.
† Neu, *aethum yn gyffelyb, &c.*
[h] Edrych Psal. 46. 5.
[i] Psal. 5. 8.
[k] Psal. 25. 1.
‡ Neu, *cuddia fi gyd â thi.*
[l] Psal. 25. 4, 5. a 139. 24.
§ Neu, *daionus yw dy yspryd tywys fi, &c.*
[m] Esay 26. 10.
[n] Psal. 119. 25, 37, 40, &c.
[o] Psal. 116. 16.

## PSALM CXLIV. } { *Boreol Weddi.*

1 *Dafydd yn bendithio Duw am ei drugaredd tu ag atto ef, a thu ag at bob dyn:* 5 *yn gweddïo ar i Dduw yn alluog ei waredu ef oddi wrth ei elynion:* 9 *yn addaw bendithio Duw:* 11 *yn gweddïo dros ddedwydd gyflwr y deyrnas.*

¶ *Psalm* Dafydd.

BENDIGEDIG *fyddo*'r ARGLWYDD † fy
nerth, [a] yr hwn sydd yn dysgu fy
nwylaw i ymladd, *a*'m bysedd i ryfela.
2 [b] Fy nhrugaredd, a'm hymddiffynfa;
fy nhŵr, a'm gwaredydd: fy nharian *yw*
*efe*, ac ynddo y gobeithiais; yr hwn sydd
yn darostwng fy mhobl danaf.
3 [c] ARGLWYDD, beth *yw* dyn, pan gyd-
nabyddit ef? *neu* fab dyn, pan wnait gyfrif
o hono?
4 [d] Dyn sydd debyg i wagedd; [e] ei
ddyddiau *sydd* fel cysgod yn myned heib-
io.

† Heb. *fy nghraig,* Psal. 18. 2, 31.
[a] 2 Sam. 22. 35.
[b] 2 Sam. 22. 2, 3, 40, 48.
[c] Job 7. 17. Psal. 8. 4. Heb. 2. 6.
[d] Job 4. 19. a 14. 2. Psal. 39. 5. a 62. 9.
[e] Psal. 102. 11.

5 ARGLWYDD, f gostwng dy nefoedd,
a disgyn: g cyffwrdd â'r mynyddoedd, a
mygant.
6 h Saetha fellt, a gwasgar hwynt: ergyd-
ia dy saethau, a difa hwynt.
7 i Anfon † dy law oddi uchod; k achub
a gwared fi o ddyfroedd mawrion, o law
l plant estron;
8 Y rhai y llefara eu genau wagedd, ac *y*
*mae* eu deheulaw yn ddeheulaw ffalsder.
9 m Canaf i ti, O DDUW, ganiad newydd:
ar y nabl a'r dectant y canaf i ti.
10 *Efe* sydd yn rhoddi ‡ iachawdwriaeth
i frenhinoedd; yr hwn sydd yn gwaredu
Dafydd ei was oddi wrth y cleddyf niweid-
iol.
11 n Achub fi, a gwared fi o law meibion
estron, y rhai y llefara eu genau wagedd, ac
*y mae* eu deheulaw yn ddeheulaw ffalsder:
12 Fel *y byddo* ein meibion fel planwŷdd
yn tyfu yn eu hieuengctid; *a'n* merched fel
conglfaen nadd, wrth gyffelybrwydd palas:
13 *Fel y byddo* ein celloedd yn llawn,
yn trefnu pob rhyw luniaeth; *a'n* defaid
yn dwyn miloedd a myrddiwn yn ein heol-
ydd:
14 *A'n* hychen yn gryfion i § lafurio;
heb na rhuthro i mewn, na myned allan;
na gwaedd yn ein heolydd.
15 o Gwŷn *eu* byd y bobl *y mae* felly
iddynt: gwŷn *eu* byd y bobl *y mae'r* AR-
GLWYDD yn DDUW iddynt.

f Psal. 18. 9. Esay 64. 1. — g Psal. 104. 32. — h Psal. 18. 13, 14. — i Psal. 18. 16. — † Heb. *dy ddwylaw.* — k Psal. 69. 2, 14. Adn. 11. — l Psal. 54. 3. Mal. 2. 11. — m Psal. 33. 2, 3. — ‡ *ymwared.* — n Adn. 7, 8. — § *ddwyn llwythau.* — o Psal. 33. 12. a 65. 4. a 146. 5.

## PSALM CXLV.

1 *Dafydd yn moliannu Duw, o herwydd ei enw,* 8 *ei ddaioni,* 11 *ei frenhiniaeth,* 14 *ei ragddarbodaeth,* 17 *a'i drugaredd yn achub.*

¶ a *Psalm* Dafydd o foliant.

DYRCHAFAF di, fy NUW, O Frenhin;
a bendithiaf dy enw byth ac yn dragy-
wydd.
2 Beunydd y'th fendithiaf; a'th enw a
folaf byth ac yn dragywydd.
3 b Mawr *yw'r* ARGLWYDD, a chan-
moladwy iawn; c a'i fawredd *sydd* an-
chwiliadwy.
4 Cenhedlaeth wrth genhedlaeth a fawl
dy weithredoedd, ac a fynega dy gadernid.
5 Ardderchowgrwydd gogoniant dy fawr-
edd, a'th bethau rhyfedd, a draethaf.
6 Traethant hwy gadernid dy weithred-
oedd ofnadwy: mynegaf finnau dy fawr-
edd.
7 Coffadwriaeth amlder dy ddaioni a
draethant; a'th gyfiawnder a ddatganant.
8 d Graslawn a thrugarog *yw'r* AR-
GLWYDD; hwyrfrydig i ddig, a mawr *ei*
drugaredd.
9 Daionus *yw'r* ARGLWYDD i bawb:
a'i drugaredd *sydd* ar ei holl weithred-
oedd.
10 Dy holl weithredoedd a'th glodfor-
ant, O ARGLWYDD; a'th saint a'th fendi-
thiant.
11 Dywedant am ogoniant dy frenhin-
iaeth; a thraethant dy gadernid:
12 I beri i feibion dynion adnabod ei ga-
dernid ef, a gogoniant ardderchowgrwydd
ei frenhiniaeth.
13 e Dy frenhiniaeth di *sydd* frenhiniaeth
† dragywyddol: a'th lywodraeth *a bery* yn
oes oesoedd.
14 Yr ARGLWYDD sydd yn cynnal y rhai
oll a syrthiant, ac f sydd yn codi pawb a
ddarostyngwyd.

a Psal. 100. teitl. — b Psal. 96. 4. — c Job 5. 9. a 9. 10. — d Exod. 34. 6, 7. Num. 14. 18. Psal. 86. 5, 15. a 103. 8. — e Psal. 146. 10. 1 Tim. 1. 17. — † Heb. *yr oesoedd i gyd.* — f Psal. 146. 8.

15 g Llygaid pob peth a ddisgwyliant
wrthyt; ac h yr ydwyt yn rhoddi eu bwyd
iddynt yn ei bryd;
16 Gan agoryd dy law, a ‡ diwallu pob
peth byw *â'th* ewyllys da.
17 Cyfiawn *yw'r* ARGLWYDD yn ei holl
ffyrdd, a § sanctaidd yn ei holl weithred-
oedd.
18 i Agos *yw'r* ARGLWYDD at y rhai oll
a alwant arno, at y rhai oll a alwant arno
mewn gwirionedd.
19 Efe a wna ewyllys y rhai a'i hofnant:
gwrendy hefyd eu llefain, ac a'u hachub
hwynt.
20 Yr ARGLWYDD sydd yn cadw pawb
a'i carant ef; ond yr holl rai annuwiol a
ddifetha efe.
21 Traetha fy ngenau foliant yr AR-
GLWYDD: a bendithied pob cnawd ei enw
sanctaidd ef byth ac yn dragywydd.

g Psal. 104. 27. — h Psal. 136. 25. — ‡ *digoni ewyllys pob peth byw.* — § Neu, *thrugarog,* neu, *daionus.* — i Deut. 4. 7.

## PSALM CXLVI.

1 *Y Psalmydd yn addunedu moliant gwastadol i Dduw:* 3 *yn annog na hyderer ar ddyn.* 5 *Duw yn unig, o herwydd ei allu, a'i gyfiawnder, a'i drugaredd, a'i frenhiniaeth, sydd wiw hyderu arno.*

† MOLWCH yr ARGLWYDD. a Fy enaid,
mola di 'r ARGLWYDD.
2 b Molaf yr ARGLWYDD yn fy mywyd:
canaf i'm DUW tra fyddwyf.
3 c Na hyderwch ar dywysogion, *nac* ar
fab dyn, yr hwn nid *oes* iachawdwriaeth
ynddo.
4 d Ei anadl a â allan, efe a ddychwel
i'w ddaear: y dydd hwnnw e y derfydd am
ei *holl* amcanion ef.
5 f Gwŷn *ei* fyd yr hwn *y mae* DUW Ja-
cob yn gymmorth iddo, *sydd* â'i obaith yn
yr ARGLWYDD ei DDUW:
6 g Yr hwn a wnaeth nefoedd a daear,
y môr, a'r hyn oll *y sydd* ynddynt: yr
hwn sydd yn cadw gwirionedd yn dragy-
wydd:
7 h Yr hwn sydd yn gwneuthur barn i'r
rhai gorthrymmedig, yn rhoddi bara i'r
newynog. i Yr ARGLWYDD sydd yn goll-
wng y carcharorion yn rhŷdd.
8 k Yr ARGLWYDD sydd yn agoryd *llyg-*
*aid* y deillion: l yr ARGLWYDD sydd yn
codi 'r rhai a ddarostyngwyd: yr ARGLWYDD
sydd yn hoffi 'r rhai cyfiawn.
9 m Yr ARGLWYDD sydd yn cadw 'r
dïeithriaid: efe a gynnal yr ymddifad a'r
weddw; ac a ddadymchwel ffordd y rhai
annuwiol.
10 n Yr ARGLWYDD a deyrnasa byth,
*sef* dy DDUW di, Sïon, dros genhedl-
aeth a chenhedlaeth. Molwch yr AR-
GLWYDD.

† Heb. *Haleluiah.* — a Psal. 103. 1. — b Psal. 104. 33. — c Psal. 118. 8, 9. Esay 2. 22. — d Psal. 104. 29. Preg. 12. 7. Esay 2. 22. — e Edrych 1 Cor. 2. 6. — f Jer. 17. 7. — g Gen. 1. 1. — h Psal. 103. 6. — i Psal. 68. 6. a 107. 10, 14. — k Mat. 9. 30. Ioan 9. 7—32. — l Psal. 145. 14. a 147. 6. Luc 13. 13. — m Deut. 10. 18. Psal. 68. 5. — n Exod. 15. 18. Psal. 10. 16. a 145. 13.

## PSALM CXLVII. — *Prydnhawnol Weddi.*

1 *Y prophwyd yn annog i foliannu Duw, am ei ofal dros ei eglwys;* 4 *am ei allu,* 6 *a'i drugaredd,* 7 *a'i ragluniaeth,* 12 *a'i fendithion ar y deyrnas;* 15 *a'i allu ar y rhew a'r eira, a phob tywydd arall;* 19 *a'i ddeddfau yn yr eglwys.*

MOLWCH yr ARGLWYDD: canys a da
*yw* canu i'n DUW ni; o herwydd by-
fryd *yw,* ie, b gweddus yw mawl.
2 Yr ARGLWYDD sydd yn adeiladu
Jerusalem: c efe a gasgl wasgaredigion
Israel.

a Psal. 92. 1. a 135. 3. — b Psal. 33. 1. — c Deut. 30. 3.

3 [d] Efe sydd yn iachâu y rhai briwedig o
galon, ac yn rhwymo eu doluriau.
4 [e] Y mae efe yn rhifo rhifedi 'r ser:
geilw hwynt oll wrth eu henwau.
5 Mawr *yw* ein HARGLWYDD, a mawr ei
nerth: aneirif *yw* ei ddeall.
6 [f] Yr ARGLWYDD sydd yn dyrchafu y
rhai llariaidd; gan ostwng y rhai annuwiol
hyd lawr.
7 Cyd-genwch i'r ARGLWYDD mewn
diolchgarwch: cenwch i'n DUW â'r delyn;
8 [g] Yr hwn sydd yn toi 'r nefoedd â chym-
mylau, yn paratoi gwlaw i'r ddaear, gan
beri i'r gwellt dyfu ar y mynyddoedd.
9 [h] Efe sydd yn rhoddi i'r anifail ei borth-
iant, *ac* [i] i gywion y gigfran, pan lefant.
10 [k] Nid oes hyfrydwch ganddo yn nerth
march: *ac* nid ymhoffa efe yn esgeiriau gwr.
11 Yr ARGLWYDD sydd hoff ganddo y
rhai a'i hofnant ef; *sef* y rhai a ddisgwyl-
iant wrth ei drugaredd ef.
12 Jerusalem, mola di'r ARGLWYDD:
Sïon, molianna dy DDUW.
13 O herwydd efe a gadarnhaodd farrau
dy byrth: efe a fendithiodd dy blant o'th
fewn.
14 Yr hwn sydd yn gwneuthur dy fro yn
† heddychol, *ac* [l] a'th ddiwalla di â ‡ bras-
der gwenith.
15 [m] Yr hwn sydd yn anfon ei orchymyn
*ar* y ddaear: *a*'i air a red yn dra buan.
16 Yr hwn sydd yn rhoddi eira fel
gwlan: *ac* a dana rew fel lludw.
17 Yr hwn sydd yn bwrw ei ia fel tam-
meidiau: pwy a erys gan ei oerni ef?
18 [n] Efe a enfyn ei air, ac a'u tawdd
hwynt: *â*'i wŷnt y chwŷth efe, *a*'r dyfroedd
a lifant.
19 [o] Y mae efe yn mynegi ei eiriau i
Jacob, [p] ei ddeddfau a'i farnedigaethau i
Israel.
20 [q] Ni wnaeth efe felly ag un genedl;
ac nid adnabuant ei farnedigaethau ef.
Molwch yr ARGLWYDD.

[d] Psal. 51. 17. Esay 57. 15. a 61. 1.
[e] Edrych Gen. 15. 5. Esay 40. 26.
[f] Psal. 146. 9.
[g] Psal. 104. 13, 14.
[h] Job 38. 41. Psal. 104. 27, 28. a 136. 25. a 145. 15.
[i] Job 38. 41. Mat. 6. 26.
[k] Psal. 33. 16, 17, 18. Hos. 1. 7.
† Heb. heddwch.
[l] Psal. 132. 15.
‡ Deut. 32. 14. Psal. 81. 16.
[m] Psal. 107. 20.
[n] Adn. 15. Edrych Job 37. 10.
[o] Psal. 76. 1. a 78. 5. a 103. 7.
[p] Mal. 4. 4.
[q] Edrych Rhuf. 3. 1, 2.

## PSALM CXLVIII.

1 *Y Psalmydd yn annog y creaduriaid nefol,* 7 *a daearol,* 11 *a rhesymmol, i foliannu Duw.*

† MOLWCH yr ARGLWYDD. Molwch
yr ARGLWYDD o'r nefoedd: mol-
wch ef yn yr uchelderau.
2 [a] Molwch ef, ei holl angylion: molwch
ef, ei holl luoedd.
3 Molwch ef, haul a lleuad: molwch ef,
yr holl ser goleuni.
4 Molwch ef, [b] nef y nefoedd; [c] a'r dyfr-
oedd y rhai *ydych* oddi ar y nefoedd.
5 Molant enw 'r ARGLWYDD: o herwydd
[d] efe a orchymynodd, a hwy a grewyd.
6 [e] A gwnaeth iddynt barhâu byth yn
dragywydd: gosododd ddeddf, ac ni's tro-
seddir hi.
7 Molwch yr ARGLWYDD o'r ddaear, y
dreigiau, a'r holl ddyfnderau:
8 Tân, a chenllysg; eira, a tharth; gwŷnt
ystormus, yn gwneuthur ei air ef:
9 Y mynyddoedd, a'r bryniau oll; y coed
ffrwythlawn, a'r holl gedrwydd:
10 Y bwystfilod, a phob anifail; yr ym-
lusgiaid, ac adar asgellog:
11 Brenhinoedd y ddaear, a'r holl bobl-
oedd; tywysogion, a holl farnwŷr y byd:
12 Gwŷr ieuaingc, a gwŷryfon hefyd;
henafgwŷr, a llangciau.
13 Molant enw 'r ARGLWYDD: o her-
wydd [f] ei enw ef yn unig sydd ddyrchaf-
adwy; ei ardderchowgrwydd ef *sydd* uwch
law daear a nefoedd.
14 [g] Ac efe sydd yn dyrchafu corn ei
bobl, [h] moliant ei holl saint; *sef* meibion
Israel, pobl agos atto. Molwch yr AR-
GLWYDD.

† Heb. Haleluiah.
[a] Psal. 103. 20, 21.
[b] 1 Bren. 8. 27.
[c] Gen. 1. 7.
[d] Gen. 1. 1, 6. Psal. 33. 6, 9.
[e] Psal. 89. 37. a 119. 90, 91. Jer. 31. 35, 36. a 33. 25.
[f] Psal. 8. 1. Esay 12. 4.
[g] Psal. 75. 10.
[h] Psal. 149. 9.

## PSALM CXLIX.

1 *Y prophwyd yn annog i foliannu Duw, am ei gariad tu ag at yr eglwys,* 5 *ac am y galiu a roddes efe i'r eglwys, i lywodraethu cydwybodau dynion.*

† MOLWCH yr ARGLWYDD. [a] Cenwch
i'r ARGLWYDD ganiad newydd, *a*'i
foliant ef ynghynnulleidfa 'r saint.
2 Llawenhaed Israel yn [b] yr hwn a'i
gwnaeth: gorfoledded meibion Sïon yn eu
Brenhin.
3 [c] Molant ei enw ef ar y ‡ dawns: can-
ant iddo ar dympan a thelyn.
4 O herwydd [d] hoffodd yr ARGLWYDD
ei bobl: [e] efe a brydfertha y rhai llednais â
iachawdwriaeth.
5 Gorfoledded y saint mewn gogoniant:
a [f] chanant ar eu gwelyau.
6 *Bydded* ardderchog *foliant* Duw yn eu
§ genau, a [g] chleddyf dau-finiog yn eu dwy-
law;
7 I wneuthur dïal ar y cenhedloedd, *a*
chosp ar y bobloedd:
8 I rwymo eu brenhinoedd â chadwynau,
a'u pendefigion â gefynnau heiyrn;
9 [h] I wneuthur arnynt y farn ysgrifen-
edig: [i] yr ardderchowgrwydd hwn sydd i'w
holl saint ef. Molwch yr ARGLWYDD.

† Heb. Haleluiah.
[a] Psal. 33. 3.
[b] Psal. 100. 3. Esay 54. 5. Edrych Job 35. 10.
‡ Neu, bibell.
[c] Psal. 81. 2.
[d] Psal. 35. 27.
[e] Psal. 132. 16.
[f] Job 35. 10.
§ Heb. ceg.
[g] Heb. 4. 12. Dat. 1. 16.
[h] Deut. 7. 1, 2.
[i] Psal. 148. 14.

## PSALM CL.

1 *Y mae yn annog i foliannu Duw,* 3 *â phob math ar offer cerdd.*

† MOLWCH yr ARGLWYDD. Molwch
DUW yn ei ‡ sancteiddrwydd:
molwch ef yn ffurfafen ei nerth.
2 [a] Molwch ef am ei gadernid: molwch
ef yn ol amlder ei fawredd.
3 Molwch ef â llais udgorn: [b] molwch ef
â nabl ac â thelyn.
4 Molwch ef â thympan ac â § dawns:
molwch ef â thannau ac ag organ.
5 Molwch ef â symbalau soniarus: mol-
wch ef â symbalau llafar.
6 Pob perchen anadl, molianned yr AR-
GLWYDD. Molwch yr ARGLWYDD.

† Heb. Haleluiah.
‡ gyssegr
[a] Psal. 145. 5, 6.
[b] Psal. 81. 2. a 149. 3.
§ Neu, phibell.

# ¶ LLYFR Y DIARHEBION.

## PEN. I.

Mehef. 25. P. Sul 21 ar ol y Drindod. P.

*1 Arfer y diarhebion. 7 Cyngor i ofni Duw, ac i gredu ei air; 10 i ochel hud pechaduriaid. 20 Doethineb yn cwyno fod yn ei diystyru hi, 24 ac yn bygwth y rhai a'i diystyrent.*

Cyn Crist cylch 1000.

[a] DIARHEBION Salomon fab Dafydd, brenhin Israel;

2 I wybod doethineb ac addysg, i ddeall geiriau synwyr;

3 I gymmeryd athrawiaeth deall, cyfiawnder, a barn, ac uniondeb;

4 I roi callineb i'r anghall, ac i'r † bachgen wybodaeth a synwyr.

5 Y doeth a wrendy, ac a 'chwanega addysg; a'r deallgar a ddaw i gynghorion pwyllog:

6 I ddeall dïareb, a'i deongl; geiriau 'r doethion, a'u damhegion.

7 ¶ [b] Ofn yr ARGLWYDD *yw* ‡ dechreuad gwybodaeth: *ond* ffyliaid a ddïystyrant ddoethineb ac addysg.

8 [c] Fy mab, gwrando addysg dy dad, ac nac ymado â chyfraith dy fam:

9 Canys [d] § cynnydd gras *a fyddant* hwy i'th ben, a chadwyni am dy wddf di.

10 ¶ Fy mab, os pechaduriaid a'th ddenant, na chyttuna.

11 Os dywedant, Tyred gyd â ni, [e] cynllwynwn am waed, ymguddiwn yn erbyn y gwirion yn ddïachos:

12 Llyngcwn hwy yn fyw, fel y bedd; ac yn gyfan, fel rhai yn disgyn i'r pydew:

13 Nyni a gawn bob cyfoeth gwerthfawr, nyni a lanwn ein tai ag yspail:

14 Bwrw dy goelbren yn ein mysg; bydded un pwrs i ni i gyd:

15 Fy mab, [f] na rodia yn y ffordd gyd â hwynt; attal dy droed rhag eu llwybr hwy.

16 [g] Canys eu traed a redant i ddrygioni, ac a brysurant i dywallt gwaed.

17 Dïau gwaith ofer yw taenu rhwyd yngolwg pob perchen aden.

18 Ac y maent hwy yn cynllwyn am *eu* gwaed *eu hun:* am *eu* heinioes *eu hun* y maent yn llechu.

19 Felly *y mae* llwybrau y rhai oll sydd chwannog i elw; *yr hwn* a ddwg einioes ei berchennogion.

20 ¶ ‖ [h] Doethineb sydd yn gweiddi oddi allan; y mae hi yn adrodd ei lleferydd yn yr heolydd:

21 Y mae hi yn llefain ym mhrif-leoedd y dyrfa, yn nrysau 'r pyrth; yn y ddinas y mae hi yn traethu ei hymadroddion, *gan ddywedyd,*

22 Pa hŷd, chwi ynfydion, y cerwch ynfydrwydd? a chwi watwarwŷr, y bydd hoff gennych watwar? ac y casâ ffyliaid wybodaeth?

23 Dychwelwch wrth fy ngherydd: wele mi a dywalltaf fy yspryd i chwi, fy ngeiriau a hyspysaf i chwi.

24 ¶ [i] Yn gymmaint ag i mi *eich* gwahodd, ac i chwithau wrthod; i mi estyn fy llaw, a neb heb ystyried;

25 Ond [k] dïystyrasoch fy holl gyngor i, ac ni fynnoch ddim o'm cerydd:

26 [l] Minnau hefyd a chwarddaf yn eich dïaledd chwi; mi a wawdiaf pan syrthio arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni;

27 [m] Pan ddêl arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni megis distryw, ac y dêl eich dïaledd arnoch megis corwynt; a dyfod arnoch wasgfa a chaledi:

28 [n] Yna y galwant arnaf, ond ni wrandawaf; yn fore y'm ceisiant, ond ni'm cânt:

29 Canys cas fu ganddynt wybodaeth, ac [o] ofn yr ARGLWYDD ni ddewisasant.

30 [p] Ni chymmerent ddim o'm cyngor i; dirmygasant fy holl gerydd.

31 Am hynny [q] hwy a gânt fwytta ffrwyth eu ffordd eu hunain, a'u llenwi â'u cynghorion eu hunain.

32 Canys esmwythdra y rhai anghall a'u lladd; a llwyddiant y rhai ffol a'u difetha.

33 Er hynny [r] y sawl a wrandawo arnaf fi, a gaiff aros yn ddïogel, ac [s] a gaiff lonyddwch oddi wrth ofn drwg.

a 1 Bren. 4. 32. Pen. 10. 1. a 25. 1.
† Neu, *plentyn.*
b Job 28. 28. Psal. 111. 10. Pen. 9. 10. Preg. 12. 13.
‡ Neu, *rhan bennaf.*
c Pen. 4. 1. a 6. 20.
d Pen. 3. 22.
§ *ychwanegiad.*
e Jer. 5. 26.
f Pen. 4. 14.
g Esay 59. 7. Rhuf. 3. 15.
‖ Heb. *Doethinebau, sef, goddidog ddoethineb.*
h Pen. 8. 1. a 9. 3.
i Esay 65. 12. a 66. 4. Jer. 7. 13. Ezec. 8. 18.
k Psal. 107. 11. Adn. 30. Luc 7. 30.
l Psal. 2. 4.
m Pen. 10. 24.
n Job 27. 9. a 35. 12. Esay 1. 15. Jer. 11. 11. a 14. 12. Micha 3. 4. Zech. 7. 13. Iago 4. 3.
o Psal. 119. 173.
p Adn. 25.
q Job 4. 8. Pen. 14. 14. a 22. 8. Jer. 6. 19.
r Psal. 25. 12, 13.
s Psal. 112. 7.

## PEN. II.

Mehef. 25. P. Sul 22 ar ol y Drindod, B.

*1 Doethineb yn addaw duwioldeb i'w phlant, 10 a dïogelwch rhag cyfeillach ddrwg, 20 a chyfarwyddyd mewn ffyrdd da.*

Cylch 1000.

FY mab, os derbyni di fy ngeiriau, ac os [a] cuddi fy ngorchymynion gyd â thi;

2 Fel y parech i'th glust wrando ar ddoethineb, *ac* y gogwyddech dy galon at ddeall;

3 Ië, os gwaeddi ar ol gwybodaeth, os † cyfodi dy lef am ddeall;

4 [b] Os ceisi hi fel arian, os chwili am dani fel *am* drysorau cuddiedig;

5 Yna y cei ddeall ofn yr ARGLWYDD, ac y cei wybodaeth o DDUW.

6 [c] Canys yr ARGLWYDD sydd yn rhoi doethineb: allan o'i enau ef *y mae* gwybodaeth a deall *yn dyfod.*

7 Y mae ganddo ynghadw i'r rhai uniawn wir ddoethineb: [d] tarian *yw efe* i'r sawl a rodiant yn uniawn.

8 Y mae efe yn cadw llwybrau barn, ac yn cadw ffordd ei saint.

9 Yna y cei di ddeall cyfiawnder, a barn, ac uniondeb, a phob llwybr daionus.

10 ¶ Pan ddelo doethineb i mewn i'th galon, a phan fyddo hyfryd gan dy enaid wybodaeth;

11 Yna cyngor a'th gynnal, a synwyr a'th geidw:

12 I'th achub di oddi wrth y ffordd ddrwg, ac oddi wrth y dyn a lefaro drawsedd;

13 Y rhai a ymadawant â llwybrau uniawndeb, i rodio mewn ffyrdd tywyllwch;

14 Y rhai a ymlawenychant i wneuthur drwg, *ac* a ymddigrifant yn anwiredd y drygionus;

15 [e] Y rhai sydd â'u ffyrdd yn geimion, ac yn gildyn yn eu llwybrau:

16 I'th wared oddi wrth [f] y fenyw estronaidd, [g] oddi wrth y ddïeithr wenhieithus ei geiriau;

17 [h] Yr hon a ymedy â llywodraethwr ei hieuengctid, ac a ollwng dros gof gyfammod ei Duw.

18 Canys [i] y mae ei thŷ yn gwyro at angau, a'i llwybrau at y meirw.

19 Pwy bynnag a elo i mewn atti hi, ni ddychwelant, ac nid ymafaelant yn llwybrau 'r bywyd.

a Pen. 4. 21. a 7. 1.
† Heb. *rhoddi.*
b Mat. 13. 44.
c 1 Bren. 3. 9. 12. Iago 1. 5.
d Psal. 84. 11. Pen. 30. 5.
e Psal. 125. 5.
f Pen. 5. 20.
g Pen. 5. 3. a 6. 24. a 7. 5.
h Falrych Mal. 2. 14, 15.
i Pen. 7. 27.

20 Fel y rhodiech di ar hŷd ffordd *gwŷr*
da, a chadw llwybrau 'r cyfiawn.
k Psal. 37. 21 k Canys y gwŷr cyfiawn a breswyliant
29. y ddaear, a'r rhai perffaith a gânt aros
ynddi.
l Job 18. 22 l Ond yr annuwiolion a dorrir oddi
17. ar y ddaear, a'r troseddwŷr a ddiwreiddir
Psal. 104. allan o honi.
35.

## PEN. III.

Mehef. 26. 1 *Y mac 'n annog i ufudd-dod,* 5 *a ffydd,* 7 *a*
B. *marwhâd,* 9 *a duwfolder,* 11 *ac amynedd.*
Sul 22 ar 13 *Dedwydd elw doethineb.* 19 *Gallu* 21
ol y Drin- *a chymmwynasau doethineb.* 27 *Cyngor i*
dod, P. *fod yn gariadus,* 30 *yn heddychol,* 31 *ac*
*yn foddlongar.* 33 *Cyflwr melldigedig yr*
*enwir.*

Cylch FY mab, na ollwng fy nghyfraith dros
1000. gof; ond a cadwed dy galon fy ngor-
a Deut. 8. chymynion:
1. a 30. 16, 2 Canys hir-ddyddiau, a blynyddoedd
20. bywyd, a b heddwch, a 'chwanegant hwy
b Psal. 119. i ti.
165. 3 Na ad i drugaredd a gwirionedd ym-
c Exod. 13. adael â thi: c cylymma hwy am dy wddf,
9. d ysgrifena hwy ar lech dy galon.
Deut. 6. 8. 4 e Felly y cei di ras a † deall da ger
Pen. 6. 21. bron Duw a dynion.
a 7. 3. 5 ¶ Gobeithia yn yr Arglwydd â'th
d Jer. 17. holl galon; ac nac ymddiried i'th ddeall dy
1. hun.
e Psal. 111. 6 f Yn dy holl ffyrdd cydnebydd ef, ac efe
10. a hyfforddia dy lwybrau.
Edrych 7 ¶ g Na fydd ddoeth yn dy olwg dy hun:
1 Sam. 2. h ofna'r Arglwydd, a thyn ymaith oddi
26. wrth ddrygioni.
Luc 2. 52. 8 Hynny a fydd ‡ iechyd i'th fogail, a
Act. 2. 47. § i mer i'th esgyrn.
Rhuf. 14. 9 ¶ k Anrhydedda 'r Arglwydd â'th
18. gyfoeth, ac â'r peth pennaf o'th holl
† *Llwydd-* ffrwyth:
*iant.* 10 l Felly y llenwir dy ysguboriau â di-
f 1 Chron. gonoldeb, a'th win-wryfoedd a dorrant gan
18. 9. win newydd.
g Rhuf. 12. 11 ¶ m Fy mab, na ddirmyga gerydd yr
16. Arglwydd; ac na flina ar ei gospedig-
h Job 1. 1. aeth ef;
Pen. 16. 6. 12 Canys y neb a fyddo Duw yn ei garu,
‡ Heb. efe a'i cerydda, n megis tad ei fab anwyl
*meddyg-* ganddo.
*iniaeth.* 13 ¶ o Gwŷn ei fyd y dyn a gaffo ddoeth-
§ Heb. ineb, a'r dyn a ddygo ddeall allan.
*dyfrhâd.* 14 p Canys gwell *yw* ei marsiandiaeth hi
i Job 21. nâ marsiandiaeth o arian, a'i chynnyrch
24. hi *sydd well* nag aur coeth.
k Exod. 23. 15 Gwerthfawrocach *yw* hi nâ gem-
19. a 34. 26. mau: a'r holl bethau dymunol nid ydynt
Deut. 26. 2, gyffelyb iddi.
&c. 16 q Hir-hoedl *sydd* yn ei llaw ddehau
Mal. 3. 10, hi; *ac* yn ei llaw aswy *y mae* cyfoeth a go-
&c. goniant.
Luc 18. 12. 17 Ei ffyrdd hi *sydd* ffyrdd hyfrydwch,
l Deut. 28. a'i holl lwybrau hi *ydynt* heddwch.
8. 18 r Pren bywyd *yw* hi i'r neb a ymaflo
m Job 5. ynddi: a gwŷn ei fyd a ddalio ei afael
17. ynddi hi.
Heb. 12. 5. 19 s Yr Arglwydd trwy ddoethineb a
Deut. 3. 19. seiliodd y ddaear; trwy ddeall y ‖ sicr-
n Deut. 8. haodd efe 'r nefoedd.
5. 20 t Trwy ei wybodaeth ef yr holltodd
o Pen. 8. y dyfnderau, ac y defnyna 'r wybrennau
34. wlith.
p Job 28. 21 ¶ Fy mab, na ollwng hwynt allan o'th
15, &c. olwg: cadw ddoethineb a phwyll.
Psal. 19. 10.
Pen. 8. 11,
19. a 16. 16.
q Pen. 8.
18.
r Edrych
Gen. 2. 9.
a 3. 22.
s Psal. 136.
5.
Pen. 8. 27.
Jer. 10. 12. a 51. 15. ‖ Neu, *darparodd.* t Gen. 1. 9.

22 Yna y byddant yn fywyd i'th enaid, ac
u yn ras i'th wddf. u Pen. 1. 9.
23 x Yna y cei rodio dy ffordd yn ddïo- x Psal. 37.
fal, a'th droed ni thramgwydda. 24. a 91.
24 y Pan orweddych, nid ofni; ti a or- 11, 12.
weddi, a'th gwsg fydd melus. y Psal. 3. 5.
25 z Nac ofna rhag braw disymmwth, na a 4. 8.
rhag dinystr yr annuwiol pan ddelo. z Psal. 91.
26 Canys yr Arglwydd a fydd dy hy- 5. a 112. 7.
der di, ac a geidw dy droed rhag ei ddal.
27 ¶ Na attal ddaioni oddi wrth † y rhai † Heb.
y perthyn iddynt, pan fyddo ar dy law *ei* *oi berchen-*
wneuthur. *nogion.*
28 a Na ddywed wrth dy gymmydog, a Lef. 19.
Cerdda ymaith, a thyred amser arall, ac y 13.
foru mi a roddaf; a chennyt *beth yn awr.* Deut. 24.
29 Na feddwl ddrwg yn erbyn dy gym- 15.
mydog, ac yntau yn trigo yn ddïofal yn dy
ymyl.
30 ¶ Nac ymryson â neb heb achos, os
efe ni wnaeth ddrwg i ti.
31 ¶ b Na chynfigenna wrth wr ‡ traws, b Psal. 37.
ac na ddewis yr un o'i ffyrdd ef. 1. a 73. 3.
32 Canys ffiaidd gan yr Arglwydd y Pen. 24. 1.
cyndyn: c ond gyd â'r rhai uniawn *y mae* ‡ Heb.
ei gyfrinach ef. *trais.*
33 ¶ d Melldith yr Arglwydd *sydd* yn c Psal. 25.
nhŷ 'r annuwiol: ond efe a fendithia drigfa 'r 14.
cyfiawn. d Lef. 26.
34 ¶ e Diau efe a watwar y gwatwarus: 14, &c.
ond ei ras a rydd efe i 'r gostyngedig. Mal. 2. 2.
35 Y doethion a etifeddant anrhydedd, a e Iago 4. 6.
gwarth § *fydd* dyrchafiad ffyliaid. 1 Petr 5. 5.
§ Heb.
*a ddyr-*
*chafa.*

## PEN. IV.

1 *Salomon, er mwyn dysgu ufudd-dod i eraill,* Mehef. 26.
3 *yn dangos pa athrawiaeth a gafodd efe* P.
*gan ei rieni,* 5 *i geisio doethineb,* 14 *ac i*
*ochel llwybrau 'r annuwiol.* 20 *Y mac yn*
*annog i ffydd,* 23 *ac i sancteiddrwydd.*

a GWRANDÊWCH, blant, addysg tad, Cylch
ac erglywch i ddysgu deall. 1000.
2 Canys yr ydwyf fi yn rhoddi i chwi ad- a Pen. 1.
dysg dda: na wrthodwch fy nghyfraith. 8.
3 Canys yr oeddwn yn fab i'm tad, yn
b dyner ac yn anwyl † yngolwg fy mam. b 1 Chron.
4 c Efe a'm dysgai, ac a ddywedai wrthyf, 29. 1.
Dalied dy galon fy ngeiriau: d cadw fy † Neu,
ngorchymynion, a bydd fyw. *ym mysg*
5 Cais ddoethineb, cais ddeall: na ad dros *meibion.*
gof, ac na ŵyra oddi wrth eiriau fy ngenau. c 1 Chron.
6 Nac ymâd â hi, a hi a'th geidw: câr 28. 9.
hi, a hi a'th wared di. d Pen. 7. 2.
7 Pennaf peth *yw* doethineb: cais ddoeth-
ineb; ac â'th holl gyfoeth cais ddeall.
8 e Dyrchafa di hi, a hithau a'th ddyr- e 1 Sam. 2.
chafa di: hi a'th ddwg di i anrhydedd, os 30.
cofleidi hi.
9 f Hi a rydd ychwaneg o ras i'th ben di: f Pen. 1. 9.
ie, hi ‡ a rydd i ti goron gogoniant. ‡ Neu,
10 Gwrando, fy mab, a derbyn fy ngeir- *a'th am-*
iau; a blynyddoedd dy fywyd a amlheir. *gylcha â*
11 Yr ydwyf yn dy ddysgu yn ffordd *choron*
doethineb; ac yn dy dywys yn llwybrau *gogoniant.*
uniondeb.
12 Pan rodiech, dy gerddediad ni bydd cy-
fyng; a g phan redech, ni thramgwyddi. g Psal. 91.
13 Ymafael mewn addysg, *ac* na ollwng 11, 12.
*hi*: cadw hi; canys dy fywyd di *yw* hi.
14 ¶ h Na ddos i lwybr yr annuwiolion, h Psal. 1. 1.
ac na rodia ar hŷd ffordd y drygionus. Pen. 1. 10,
15 Gochel hi, na ddos ar hyd-ddi; cilia 15.
oddi wrthi hi, a dos heibio.
16 Canys i ni chysgant nes gwneuthur i Psal. 36.
drwg; a'u cwsg a gollant, nes iddynt 4.
gwympo *rhyw* ddyn.

17 Canys y maent yn bwytta bara annuwioldeb, ac yn yfed gwin trais.

18 Ond llwybr y cyfiawn [k] *sydd* fel y goleuni, yr hwn a lewyrcha fwyfwy hyd ganol dydd.

[k] 2 Sam. 23. 4.

19 [l] Eithr ffordd y drygionus *sydd* fel y tywyllwch: ni wyddant wrth ba beth y tramgwyddant.

[l] Esay 59. 9. Jer. 23. 12.

20 ¶ Fy mab, gwrando ar fy ngeiriau: gogwydda dy glust at fy ymadroddion.

21 [m] Na ad iddynt fyned ymaith o'th olwg: [n] cadw hwynt ynghanol dy galon.

[m] Pen. 3. 3, 21. [n] Pen. 2. 1.

22 Canys bywyd *ydynt* i'r neb a'u caffont, ac [o] † iechyd i'w holl gnawd.

[o] Pen. 3. 8. † Heb. *meddyginiaeth.*

23 ¶ Cadw dy galon yn dra dïesgeulus; canys allan o honi y mae bywyd yn dyfod.

24 Bwrw oddi wrthyt ‡ enau taeogaidd, a gwefusau trofâus ym mhell oddi wrthyt.

‡ Heb. *taeogrwydd genau.*

25 Edryched dy lygaid yn uniawn; ac edryched dy amrantau yn union o'th flaen.

26 Ystyria lwybr dy draed: a § threfner dy holl ffyrdd yn uniawn.

§ Neu, *threfnir.*

27 [p] Na thro ar y llaw ddehau nac ar y llaw aswy; symmud dy droed oddi wrth ddrygioni.

[p] Deut. 5. 32. a 28. 14. Jos. 1. 7.

## PEN. V.

Mehef. 27. B.

1 *Salomon yn annog i geisio doethineb: 3 yn dangos ysgelerder putteindra ac anllywodraeth: yn annog i foddlonrwydd, haelioni, a diweirdeb. 22 Bod eu pechodau eu hun yn goddiwes yr annuwiol.*

Cylch 1000.

FY mab, gwrando ar fy noethineb, *a* gostwng dy glust at fy neall:

2 Fel y gellych ystyried pwyll, a'th wefusau gadw gwybodaeth.

3 ¶ [a] Canys gwefusau y ddïeithr a ddiferant *fel y* dil mel, † a'i genau *sydd* [b] lyfnach nag olew:

[a] Pen. 2. 16. a 6. 24. † Heb. *a thaflod ei genau.*

4 Ond ei diwedd hi a fydd chwerw fel y wermod, [c] yn llym fel cleddyf daufiniog.

[b] Psal. 55. 21. [c] Heb. 4. 12.

5 [d] Ei thraed hi a ddisgynant i angau; a'i cherddediad a sang uffern.

[d] Pen. 7. 27.

6 Rhag i ti ystyrio ffordd bywyd, y symmud ei chamrau hi, heb wybod i ti.

7 Yr awr hon gan hynny, O blant, gwrandêwch arnaf fi, ac nac ymadêwch â geiriau fy ngenau.

8 Cadw dy ffordd ym mhell oddi wrthi hi, ac na nesâ at ddrws ei thŷ hi:

9 Rhag i ti roddi dy harddwch i eraill, a'th flynyddoedd i'r creulon:

10 Rhag llenwi'r estron â'th ‡ gyfoeth di, ac i'th lafur *fod* yn nhŷ'r dïeithr,

‡ Heb. *nerth.*

11 Ac o'r diwedd i ti ochain, wedi i'th gnawd a'th gorph gurio,

12 A dywedyd, Pa fodd y caseais i addysg! *pa fodd* y dirmygodd fy nghalon gerydd!

13 Ac na wrandewais ar lais fy athrawon, ac na ostyngais fy nghlust i'm dysgawdwyr!

14 Bûm o fewn ychydig at bob drwg, ynghanol y gynnulleidfa a'r dyrfa.

15 ¶ Yf ddwfr o'th bydew dy hun, a ffrydiau allan o'th ffynnon dy hun.

16 Tardded dy ffynhonnau allan, *a'th* ffrydiau dwfr yn yr heolydd.

17 Byddant yn eiddot ti dy hun yn unig, ac nid yn eiddo dïeithriaid gyd â thi.

18 Bydded dy ffynnon yn fendigedig: ac ymlawenhâ gyd â [e] gwraig dy ieuengetid.

[e] Mal. 2. 14.

19 [f] *Bydded fel* ewig gariadus, ac fel iyrches hawddgar: gad i'w bronnau hi dy § lenwi bob amser, ‖ ac ymfoddlona yn ei chariad hi yn wastadol.

[f] Edrych Can. 4. 5. a 7. 3. § Heb. *ddyfrhau.* ‖ Heb. *a chyfeiliorna.*

20 A phaham, fy mab, yr ymddigrifi yn [g] y wraig ddïeithr, ac y cofleidi fynwes yr hon nid yw eiddot ti?

[g] Pen. 2. 16. a 7. 5.

21 [h] Canys ffyrdd dyn *sydd* yngolwg yr ARGLWYDD, ac y mae efe yn dal ar ei holl lwybrau ef.

[h] 2 Chron. 16. 9. Job 31. 4. a 34. 21. Pen. 15. 3. Jer. 16. 17. a 32. 19. Hos. 7. 2. Heb. 4. 13.

22 ¶ [i] Ei anwiredd ei hun a ddeil yr annuwiol, ac efe a ddelir â rhaffau ei bechod ei hun.

[i] Psal. 9. 15.

23 [k] Efe fydd farw o eisiau addysg; a rhag maint ei ffolineb yr â ar gyfeiliorn.

[k] Job 4. 21. a 36. 12.

## PEN. VI.

Mehef. 27. P.

1 *Yn erbyn mechnïaeth, 6 a segurud, 12 ac ysgelerder. 16 Saith beth cas gan Dduw. 20 Bendithion ufudd-dod. 25 Drygioni putteindra.*

Cylch 1000.

FY mab, os [a] mechnïaist dros dy gymmydog, *ac os* tarewaist dy law *yn llaw* y dïeithr,

[a] Pen. 11. 15. a 17. 18. a 20. 16. a 22. 26. a 27. 13.

2 Ti a faglwyd â geiriau dy enau, ti a ddaliwyd â geiriau dy enau.

3 Gwna hyn yr awr hon, fy mab, a gwared dy hun, gan i ti syrthio i law dy gymmydog; cerdda, ac ymostwng iddo, ac ymbil â'th gymmydog.

4 [b] Na ddyro gwsg i'th lygaid, na hûn i'th amrantau.

[b] Psal. 132. 4.

5 Gwared dy hun fel yr iwrch o law'r *heliwr*, ac fel aderyn o law'r adarwr.

6 ¶ Cerdda at y morgrugyn, tydi ddïogyn, edrych ar ei ffyrdd ef, a bydd ddoeth:

7 Nid oes ganddo neb i'w arwain, i'w lywodraethu, nac i'w feistroli;

8 *Ac er hynny* y mae efe yn parottôi ei fwyd yr haf, *ac* yn casglu ei luniaeth y cynhauaf.

9 [c] Pa hyd, ddïogyn, y gorweddi? pa bryd y cyfodi o'th gwsg?

[c] Pen. 24. 33, 34.

10 Etto ychydig gysgu, ychydig hepian, ychydig blethu dwylaw i gysgu.

11 [d] Felly y daw tlodi arnat fel ymdeithydd, a'th angen fel gwr arfog.

[d] Pen. 10. 4. a 13. 4. a 20. 4.

12 ¶ Dyn i'r fall, *a* gwr anwir, a rodia â genau cyndyn.

13 [e] Efe a amneidia â'i lygaid, efe a lefara â'i draed, efe a ddysg â'i fysedd.

[e] Psal. 35. 19. Pen. 10. 10.

14 *Y mae* pob rhyw gyndynrwydd yn ei galon; y mae yn dychymmyg drygioni bob amser, yn peri cynhennau.

15 Am hynny ei ddinystr a ddaw arno yn ddisymmwth: yn ddisymmwth [f] y dryllir ef, fel na byddo meddyginiaeth.

[f] Jer. 19. 11.

16 ¶ Y chwe *pheth* hyn sydd gas gan yr ARGLWYDD: ïe, saith *beth sydd* † ffiaidd ganddo ef:

† Heb. *ffieidd-dra gan ei enaid ef.*

17 [g] Llygaid beilchion, tafod celwyddog, a'r dwylaw a dywalltant waed gwirion,

[g] Psal. 18. 27. a 101. 5.

18 Y galon a ddychymmygo feddyliau drwg, [h] traed yn rhedeg yn fuan i ddrygioni,

[h] Rhuf. 3. 15.

19 [i] Tyst celwyddog yn dywedyd celwydd, a'r neb a gyfodo gynnen rhwng brodyr.

[i] Pen. 19. 5.

20 ¶ [k] Fy mab, cadw orchymyn dy dad, ac nag ymado â chyfraith dy fam.

[k] Pen. 1. 8.

21 [l] Rhwym hwynt ar dy galon yn wastadol; cwlwm hwynt am dy wddf.

[l] Pen. 3. 3. a 7. 3.

22 [m] Pan rodiech, hi a'th gyfarwydda; pan orweddych, hi a'th wylia; pan ddeffroych, hi a gyd-ymddiddan â thi.

[m] Pen. 3. 23, 24.

23 [n] Canys ‡ canwyll *yw*'r gorchymyn; a goleuni *yw*'r gyfraith; a ffordd i fywyd *yw* ceryddon addysg:

[n] Psal. 19. 8. a 119. 105. ‡ Neu, *lamp.*

24 [o] I'th gadw rhag y fenyw ddrwg, a rhag gweniaith tafod § y ddïeithr.

[o] Pen. 2. 16. a 5. 3. a 7. 5. § Neu, *dïeithr.*

p Mat. 5. 28. 25 p Na chwennych ei phryd hi yn dy galon; ac na ad iddi dy ddal â'i hamrantau.

q Pen. 29. 3. 26 q Oblegid y fenyw butteinig *y daw dyn* i dammaid o fara; a gwraig gwr *arall* a hela yr enaid gwerthfawr.

27 A ddichon gwr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad?

28 A ddichon gwr rodio ar hŷd marwor, ac heb losgi ei draed?

29 Felly, pwy bynnag a êl at wraig ei gymmydog; y neb a gyffyrddo â hi, ni bydd glân.

30 Ni ddirmyga *neb* leidr a ladrattao i ddiwallu ei enaid, pan fyddo arno newyn:

r Exod. 22. 1, 4. 31 Ond os dèlir ef, r efe a dâl yn saith ddyblyg; efe a rydd cymmaint oll ag a feddo yn ei dŷ.

† Heb. galon. 32 *Ond* y neb a wnel odineb â benyw, sydd heb † synwyr; y neb a'i gwnel, a ddifetha ei enaid ei hun.

33 Archoll a gwarth a gaiff efe; a'i gywilydd ni ddilêir.

34 Canys cynddaredd *yw* eiddigedd gwr; am hynny nid erbyd efe yn nydd dïal.

‡ Heb. Ni dderbyn wyneb dim iawn. 35 ‡ Ni bydd ganddo bris ar ddim iawn; ac ni foddlonir ef, er rhoi rhoddion lawer.

## PEN. VII.

Mehef. 23. B. 1 *Salomon yn cynghori bod mewn pur a chariadus gyfeillach â doethineb. 6 Wrth a welsai efe ei hun, yn dangos, 10 cyfrwysdra puttain, 22 ac enbyd wiriondeb yr ieuangc nwyfus: 24 yn cynghori gochelyd y cyfryw annuwioldeb.*

Cylch 1000. FY mab, cadw fy ngeiriau, a a chuddia fy ngorchymynion gyd â thi.

a Pen. 2. 1. 2 b Cadw fy ngorchymynion, a bydd

b Lef. 18. 5. Pen. 4. 4. fyw; a'm cyfraith fel c canwyll dy lygad.

c Deut. 32. 10. 3 d Rhwym hwynt am dy fysedd, ysgrifena hwynt ar lech dy galon.

d Deut. 6. 8. a 11. 18. Pen. 3. 3. a 6. 21. 4 Dywed wrth ddoethineb, Fy chwaer *wyt* ti; a galw ddeall yn gares:

e Pen. 2. 16. a 5. 3. 5 e Fel y'th gadwont oddi wrth y wraig ddïeithr, a rhag y fenyw â'r ymadrodd gwenhieithus.

6 ¶ Canys *a mi* yn ffenestr fy nhŷ, mi a edrychais trwy fy nellt;

† Heb. y meibion. 7 A mi a welais ym mysg y ffyliaid, ïe, mi a ganfûm ym mhlith † yr ieuengctid, ddyn ieuangc heb ddeall ganddo,

8 Yn myned ar hŷd yr heol ger llaw ei chongl hi; ac efe a ai ar hŷd y ffordd i'w thŷ hi,

‡ Heb. hwyr y dydd. 9 Yn ‡ y cyfnos gyd â'r hwyr, pan oedd hi yn nos du ac yn dywyll:

10 Ac wele fenyw yn cyfarfod ag ef, a chanthi ymddygiad puttain, ac â chalon ddichellgar.

f Pen. 9. 13. 11 (f Siaradus ac anufudd *yw* hi; g ei

g 1 Tim. 5. 13. Tit. 2. 5. thraed nid arhoant yn ei thŷ:

12 Weithiau yn y drws, weithiau yn yr heolydd, ac yn cynllwyn ym mhob congl)

13 Hi a ymafaelodd ynddo, ac a'i cusanodd, ac § ag wyneb digywilydd hi a

§ Heb. hi a gadarnhaodd ei hwyneb ag, &c. ddywedodd wrtho,

14 *Yr oedd* arnaf fi aberthau hedd; heddyw y cywirais fy addunedau:

15 Ac am hynny y daethum allan i gyfarfod â thi, i chwilio am dy wyneb; a chefais afael arnat.

h Esay 19. 9. 16 Mi a drwsiais fy ngwely â llenni, ac â cherfiadau a h llieiniau 'r Aipht.

17 Mi a fwg-darthais fy ngwely â myrr, aloes, a synamon.

18 Tyred, moes i ni ymlenwi o garu hyd y bore; ymhyfrydwn â chariad.

19 Canys nid *yw* 'r gwr gartref; efe a aeth i ffordd bell:

20 Efe a gymmerth godaid o arian yn ei law; efe a ddaw adref ar y ‖ dydd amodol. ‖ Neu, lloer newydd.

21 i Hi a'i troes ef â'i haml eiriau teg, ac â gweniaith ei gwefusau hi a'i cymhellodd ef. i Pen. 5. 3.

22 Efe a'i canlynodd hi † ar frys, fel yr ŷch yn myned i'r lladdfa, neu fel ynfyd yn myned i'r cyffion i'w gospi: † Heb. yn ddisymmwth.

23 Hyd oni ddryllio'r saeth ei afu ef; fel yr aderyn yn prysuro i'r fagl, heb wybod ei *bod* yn erbyn ei einioes ef.

24 ¶ Yn awr gan hynny, *fy* meibion, gwrandêwch arnaf fi, ac ystyriwch eiriau fy ngenau.

25 Na thuedded dy galon at ei ffyrdd hi, na chyfeiliorna ar hŷd ei llwybrau hi.

26 Canys llawer a gwympodd hi yn archolledig; ïe, *gwŷr* grymmus lawer a laddodd hi.

27 k Ffordd i uffern *yw* ei thŷ hi, yn disgyn i 'stafelloedd angau. k Pen. 2. 18. a 5. 5.

## PEN. VIII.

1 *Enwogrwydd 6 ac eglurdeb yw doethineb.* Mehef. 28. P.
*10 Godidowgrwydd, 12 naturiaeth, 15 gallu, 18 cyfoeth, 22 a thragywyddoldeb doethineb. 32 Bod doethineb yn ddymunol, o achos y dedwyddwch y mae yn ei ddwyn.*

ONID yw a doethineb yn gweiddi? a deall yn llefain? Cylch 1000.

2 Ym mhen lleoedd uchel, ger llaw 'r ffordd, lle mae llwybrau lawer, y mae hi yn sefyll. a Pen. 1. 20. a 9. 3.

3 Ger llaw y pyrth ym mhen y dref, yn ymyl y drysau, y mae hi'n llefain:

4 Arnoch chwi, wŷr, yr wyf fi yn galw; ac at feibion dynion *y mae* fy llais.

5 Ha ynfydion, deallwch gyfrwysder; a chwi wŷr angall, byddwch o galon ddeallus.

6 Gwrandêwch: canys myfi a draethaf i chwi b bethau ardderchog, ac a agoraf fy ngwefusau ar bethau union. b Pen. 22. 20.

7 Canys fy ngenau a draetha wirionedd; a † ffiaidd gan fy ngwefusau ddrygioni. † Heb. ffieiddfra fy ngwefusau yw drygioni.

8 Holl eiriau fy ngenau *ydynt* gyfiawn; nid *oes* ynddynt na gŵyrni na thrawsedd.

9 *Y maent* hwy oll yn amlwg i'r neb a ddeallo, ac yn uniawn i'r rhai a gafodd wybodaeth.

10 Derbyniwch fy addysg, ac nid arian; a gwybodaeth o flaen aur etholedig.

11 c Canys gwell *yw* doethineb nâ gemmau: nid oes dim dymunol cyffelyb iddi. c Job 28. 15. Psal. 19. 10. a 119. 27. Pen. 3. 14, 15. a 4. 5, 7. a 16. 16.

12 Myfi doethineb wyf yn trigo gyd â challineb: yr ydwyf yn cael allan wybodaeth cyngor.

13 Ofn yr ARGLWYDD *yw* casâu drygioni: balchder, ac uchder, a ffordd ddrygionus, a'r genau traws, sydd gas gennyf fi.

14 Mi biau gyngor, a gwir ddoethineb: deall *ydwyf* fi; d mi biau nerth. d Preg. 7. 19.

15 e Trwof fi y teyrnasa brenhinoedd, ac y barna 'r pennaethiaid gyfiawnder. e Dan. 2. 21.

16 Trwof fi y rheola tywysogion a phendefigion, *sef* holl farnwŷr y ddaear. Rhuf. 13. 1.

17 Y sawl a'm carant i, a garaf finnau; f a'r sawl a'm ceisiant yn fore, a'm cânt. f Iago 1. 5

18 g Gyd â myfi *y mae* cyfoeth, ac anrhydedd, golud parhâus, a chyfiawnder. g Pen. 3. 16.

h Pen. 3. 14.
19 [h] Gwell *yw* fy ffrwyth i nag aur, ïe, nag aur coeth; a'm cynnyrch *sydd well* nâ'r arian detholedig.

† Neu, *y rhodiaf.*
20 Ar hŷd ffordd cyfiawnder † yr arweiniaf, ar hŷd canol llwybrau barn:

21 I beri i'r rhai a'm carant etifeddu sylwedd: a mi a lanwaf eu trysorau.

22 Yr ARGLWYDD a'm meddiannodd i yn nechreuad ei ffordd, cyn ei weithredoedd erioed.

23 Er tragywyddoldeb y'm henneiniwyd, er y dechreuad, cyn bod y ddaear.

24 Pryd nad *oedd* dyfnder y'm cenhedlwyd, cyn *bod* ffynhonnau yn llawn o ddyfroedd.

i Psal. 90. 2.
25 [i] Cyn sylfaenu'r mynyddoedd, o flaen y bryniau, y'm cenhedlwyd:

‡ Heb. *na phen.*
26 Cyn gwneuthur o hono ef y ddaear, na'r meusydd, ‡ nac uchder llwch y byd.

27 Pan barottôdd efe'r nefoedd, *yr oeddwn* i yno: pan osododd efe gylch ar wyneb y dyfnder:

28 Pan gadarnhaodd efe'r cymmylau uwch ben: a phan nerthodd efe ffynhonnau'r dyfnder:

k Gen. 1. 9, 10. Job 38. 10, 11. Psal. 33. 7. a 104. 9. Jer. 5. 22. l Job 38. 4. m Ioan 1. 1, 18.
29 [k] Pan roddes efe ei ddeddf i'r môr, ac i'r dyfroedd, na thorrent ei orchymyn ef: pan [l] osododd efe sylfeini'r ddaear:

30 [m] Yna yr oeddwn i gyd ag ef *megis* un wedi ei feithrin *gyd ag ef:* ac yr oeddwn yn hyfrydwch *iddo* beunydd, yn ymlawenhâu ger ei fron ef bob amser;

31 Ac yn llawenychu ynghyfanneddle ei ddaear ef; a'm hyfrydwch *oedd* gyd â meibion dynion.

n Psal. 119. 1, 2. a 128. 2. Luc 11. 28.
32 Yr awron gan hynny, O feibion, gwrandêwch arnaf; canys [n] gwŷn eu byd a gadwant fy ffyrdd i.

33 Gwrandêwch addysg, a byddwch ddoethion; nac ymwrthodwch â hi.

o Pen. 3. 13, 18.
34 [o] Gwŷn ei fyd y dyn a wrandawo arnaf, ac a wylio yn ddyfal beunydd wrth fy nrysau, gan warchod wrth byst fy mhyrth i.

p Pen. 12. 2. § Heb. *dwyn allan.*
35 Canys y neb a'm caffo i, a gaiff fywyd, ac [p] a § feddianna ewyllys da gan yr ARGLWYDD.

36 Ond y neb a becho yn fy erbyn, a wna gam â'i enaid ei hun: fy holl gaseion a garant angau.

## PEN. IX.

Mehef. 30. B.
1 *Addysg* 4 *ac athrawiaeth doethineb.* 13 *Arfer* 16 *ac amryfusedd ynfydrwydd.*

Cylch 1000.

a Mat. 22. 3, &c. † Heb. *lladdfa.* b Pen. 23. 30.
DOETHINEB a adeiladodd ei thŷ, hi a naddodd ei saith golofn.

2 [a] Hi a laddodd ei † hanifeiliaid; hi [b] a gymmysgodd ei gwin, ac a huliodd ei bwrdd.

c Pen. 8. 2. d Adn. 14.
3 Hi a yrrodd ei llaw-forwynion: [c] y mae yn llefain [d] oddi ar fannau uchel y ddinas:

e Adn. 16.
4 [e] Pwy bynnag *sydd* annichellgar, troëd i mewn yma: *ac* wrth yr annoeth y mae hi yn dywedyd,

f Can. 5. 1. Esay 55. 1.
5 [f] Deuwch, a bwyttêwch o'm bara, ac yfwch o'r gwin a gymmysgais.

6 Ymadêwch â'r rhai ffol, a byddwch fyw; a cherddwch yn ffordd deall.

7 Yr hwn a gerydddo watwarwr, a gaiff waradwydd iddo ei hun: a'r hwn a feio ar y drygionus, a gaiff anaf.

g Mat. 7. 6. h Psal. 141. 5.
8 [g] Na cherydda watwarwr, rhag iddo dy gasâu: [h] cerydda'r doeth, ac efe a'th gâr di.

9 Dyro *addysg* i'r doeth, ac efe fydd doethach: dysg y cyfiawn, ac efe a 'chwanega ei ddysgeidiaeth.

10 [i] Dechreuad doethineb *yw* ofn yr ARGLWYDD: a gwybodaeth y sanctaidd *yw* deall. i Job 28. 28. Psal. 111. 10.

11 [k] Canys trwof fi yr amlhêir dy ddyddiau, ac y 'chwanegir blynyddoedd dy einioes. k Pen. 1. 7. k Pen. 10. 27.

12 [l] Os doeth fyddi, doeth fyddi i ti dy hun: ond *os* gwatwarwr fyddi, tydi dy hun a'i dygi. l Pen. 16. 26.

13 ¶ [m] Gwraig ffol *a fydd* siaradus; anghall *yw*, ac ni ŵyr ddim: m Pen. 7. 11.

14 Canys hi a eistedd ar ddrws ei thŷ, ar faingc, [n] yn y lleoedd uchel yn y ddinas, n Adn. 3.

15 I alw ar y neb a fyddo yn myned heibio, y rhai sydd yn cerdded eu ffyrdd yn uniawn:

16 [o] Pwy bynnag *sydd* ehud, troëd yma: a phwy bynnag sydd ddisynwyr, *a* hi a ddywed wrtho, o Adn. 4.

17 [p] Dyfroedd lladrad sydd felus, a bara cudd sydd beraidd. p Pen. 20. 17.

18 Ond ni ŵyr efe mai [q] meirw *yw y rhai sydd* yno; *a bod* ei gwahoddwŷr hi yn nyfnder uffern. q Pen. 2. 18. a 7. 27.

## PEN. X.

*O'r bennod yma hyd y bummed ar hugain, y mae amryw addysg ynghylch rhinweddau da, a'u gwrthwyneb feiau.* Mehef. 30. P.

DIARHEBION Salomon. [a] Mab doeth a wna dad llawen, a [b] mab ffol a dristâ ei fam. Cylch 1000. a Pen. 15. 20. b Pen. 17. 21, 25.

2 [c] Ni thyccia trysorau drygioni: ond cyfiawnder a wared rhag angau. c Psal. 49. 6, &c.

3 [d] Ni edy yr ARGLWYDD i enaid y cyfiawn newynu: ond efe a chwal ymaith † gyfoeth y drygionus. Pen. 11. 4. d Psal. 10. 14. a 37. 25.

4 [e] Y neb a weithio â llaw ‡ dwyllodrus, fydd tlawd: ond [f] llaw y diwyd a gyfoethoga. † Neu, *y drygionus am eu drygioni.* ‡ *ddïog.*

5 Mab synhwyrol *yw* yr hwn a gasgl amser haf: *ond* [g] mab gwaradwyddus *yw* yr hwn a gwsg amser cynhauaf. e Pen. 12. 24. a 19. 15.

6 Bendithion *fydd* ar ben y cyfiawn: *ond* [h] trawsedd a gau ar enau y drygionus. f Pen. 13. 4. a 21. 5.

7 [i] Coffadwriaeth y cyfiawn *sydd* fendigedig: ond enw y drygionus a bydra. g Pen. 12. 4. a 17. 2. a 19. 26.

8 Y galon ddoeth a dderbyn orchymynion: ond [k] y ffol ei wefusau a § gwymp. h Adn. 11.

9 [l] Y neb a rodio yn union, a rodia yn ddïogel: ond y neb a gam-dry ei ffyrdd, a fydd hynod. i Psal. 112. 6.

10 [m] Y neb a amneidio â'i lygaid, a bair flinder: [n] a'r ffol ei wefusau a ‖ gwymp. k Adn. 10. § Neu, *gurir.*

11 [o] Ffynnon bywyd *yw* genau 'r cyfiawn: ond [p] trawsedd a gau ar enau 'r drygionus. l Psal. 23. 4.

12 Casineb a gyfyd gynhennau: ond [q] cariad a guddia bob camwedd. Pen. 28. 18.

13 Yngwefusau y synhwyrol y ceir doethineb: ond [r] gwïalen *a weddai* i gefn † yr anghall. m Pen. 6. 13. n Adn. 8.

14 Y doethion a 'storiant wybodaeth: ond [s] dinystr *sydd* gyfagos i enau 'r ffol. ‖ Neu, *gurir.* o Pen. 13. 14. a 18. 4.

15 [t] Cyfoeth y cyfoethog *yw* dinas ei gadernid ef: ond dinystr y tlodion *yw* eu tlodi. p Adn. 6. Psal. 107. 42.

16 Gwaith y cyfiawn *a dynn* at fywyd: ond ffrwyth y drygionus tu ag at bechod. q Pen. 17. 9. 1 Cor. 13. 4.

17 *Ar* y ffordd i fywyd *y mae*'r neb a gadwo addysg: ond y neb a wrthodo gerydd, sydd yn cyfeiliorni. 1 Petr 4. 8. r Pen. 26. 3.

† Heb. *yr hwn sydd heb galon.* s Pen. 18. 7. a 21. 23.
t Pen. 18. 11.

18 A guddio gas *â* gwefusau celwyddog,
a'r neb a ddywed enllib, sydd ffol.
19 [u] Yn amlder geiriau ni bydd pall ar
bechod: ond y neb a attalio ei wefusau
*sydd* synhwyrol.
20 Tafod y cyfiawn *sydd fel* arian dethol-
edig: calon y drygionus ni thâl ond ychy-
dig.
21 Gwefusau 'r cyfiawn a borthant lawer:
ond y ffyliaid, o ddiffyg † synwyr, a fyddant
feirw.
22 Bendith yr ARGLWYDD a gyfoethoga;
ac ni ddwg flinder gyd â hi.
23 [x] Hyfryd gan ffol wneuthur drwg:
a chan wr synhwyrol *y mae* doethineb.
24 Y peth a ofno 'r drygionus, a ddaw
iddo: ond y peth a ddeisyfo 'r rhai cyfiawn,
*Duw* a'i rhydd.
25 Fel y mae 'r corwynt yn myned heibio,
felly ni *bydd* y drygionus *mwy*: ond [y] y
cyfiawn *sydd* sylfaen a bery byth.
26 Megis finegr i'r dannedd, a mwg i'r
llygaid, felly *y bydd* y diog i'r neb a'i gyr-
rant.
27 [z] Ofn yr ARGLWYDD a ‡ estyn
ddyddiau: ond [a] blynyddoedd y drygionus
a fyrheir.
28 Gobaith y cyfiawn *fydd* llawenydd:
ond [b] gobaith y drygionus a dderfydd am
dano.
29 Ffordd yr ARGLWYDD *sydd* gadernid
i'r perffaith: ond dinystr *fydd* i'r rhai a
wnant anwiredd.
30 [c] Y cyfiawn nid ysgog byth: ond y
drygionus ni phreswyliant y ddaear.
31 [d] Genau 'r cyfiawn a ddwg allan
ddoethineb: a'r tafod cyndyn a dorrir ym-
aith.
32 Gwefusau 'r cyfiawn a wyddant beth
sy gymmeradwy: ond genau 'r drygionus
*a lefara* drawsedd.

[u] Preg. 5. 3.
† Heb. *calon.*
[x] Pen. 14. 9. a 15. 21.
[y] Mat. 7. 24, 25. a 10. 18.
[z] Pen. 9. 11.
‡ Heb. *chwanega.*
[a] Job 15. 32. a 22. 16. Psal. 55. 23.
[b] Job 8. 13. a 11. 20. Psal. 112. 10.
[c] Psal. 37. 22. a 125. 1.
[d] Psal. 37. 30.

## PEN. XI.

[a] CLORIANNAU † anghywir *sydd* ffiaidd
gan yr ARGLWYDD: ond carreg
‡ union *sydd* foddlon ganddo ef.
2 [b] *Pan* ddêl balchder, fe a ddaw gwarth:
ond gyd â'r gostyngedig *y mae* doethineb.
3 [c] Perffeithrwydd yr uniawn a'u tywys
hwynt: ond trawsedd yr anffyddloniaid a'u
difetha hwynt.
4 Ni [d] thyccia cyfoeth yn nydd digofaint:
ond cyfiawnder a wared rhag angau.
5 Cyfiawnder y perffaith § a'i hyfforddia
ef: ond o achos ei ddrygioni y syrth y dry-
gionus.
6 Cyfiawnder y cyfiawn a'u gwared
hwynt: ond [e] troseddwyr a ddelir yn *eu*
drygioni.
7 Pan fyddo marw dyn drygionus, fe a
ddarfu am *ei* obaith *ef*: a gobaith y traws a
gyfrgollir.
8 [f] Y cyfiawn a waredir o gyfyngder, a'r
drygionus a ddaw yn ei le ef.
9 [g] Rhagrithiwr â'i enau a lygra ei gym-
mydog: ond y cyfiawn a waredir trwy wy
bodaeth.
10 [h] Yr holl ddinas a ymlawenhâ o her-
wydd llwyddiant y cyfiawn: a phan gyfr-
goller y drygionus, *y bydd* gorfoledd.
11 [i] Trwy fendith y cyfiawn y dyrchefir
y ddinas: ond trwy enau 'r drygionus y
dinystrir hi.
12 Y neb sy ‖ ddisynwyr a ddiystyra
ei gymmydog: ond y synhwyrol a daw â
son.

Gorphenaf 1. B. Sul 23 ar ol y Drindod, B.
[a] Lef. 19. 35, 36. Deut. 25. 13--16. Pen. 16. 11. a 20. 10, 23.
† Heb. *twyll.*
‡ Heb. *berffaith.*
[b] Pen. 15. 33. a 16. 18. a 18. 12.
[c] Pen. 13. 6.
[d] Pen. 10. 2. Prec. 7. 19. Seph. 1. 18. Eccl. 5. 8.
§ Heb. *a uniawna ei ffordd ef.*
[e] Pen. 5. 22.
[f] Pen. 21. 18.
[g] Job 8. 13.
[h] Pen. 28. 12, 28.
[i] Pen. 29. 8.
‖ Heb. *ddiagalon.*

13 [k] Yr hwn a rodia yn athrodwr, a ddat-
guddia gyfrinach: ond y ffyddlon ei galon
a gela 'r peth.
14 [l] Lle ni *byddo* cyngor, y bobl a syrth-
iant: ond lle y byddo llawer o gynghorwyr,
*y bydd* diogelwch.
15 [m] † Blinder mawr a gaiff y neb a
fachnïo dros ddïeithr-ddyn: ond y neb a
gasao ‡ fachnïaeth, fydd dïogel.
16 Gwraig rasol a gaiff anrhydedd; a'r
galluog a gânt gyfoeth.
17 Gwr trugarog sydd dda wrth ei enaid
ei hun: ond y creulon a flina ei gnawd ei
hun.
18 Y drygionus a wna waith twyllodrus:
ond [n] i'r neb a hauo gyfiawnder, *y bydd*
gwobr sicr.
19 Fel *yr arwain* cyfiawnder i fywyd:
felly dilyn drygioni *a dywys* i angau.
20 Ffiaidd gan yr ARGLWYDD y
neb sydd gyndyn eu calonnau: eithr
hoff ganddo ef y rhai sy berffaith yn eu
ffyrdd.
21 [o] § Er nmint fyddo cymmorth, y
drygionus ni bydd dïeuog: ond had y
cyfiawn a waredir.
22 *Fel* modrwy aur yn nhrwyn hwch, *yw*
benyw lân ‖ heb synwyr.
23 Deisyfiad y cyfiawn *sydd* ar ddaioni
yn unig: *ond* gobaith y drygionus *sydd*
ddigter.
24 Rhyw un a wasgar ei ddâ, ac efe
a 'chwanegir *iddo*: a rhyw un arall a
arbed mwy nag a weddai, ac a *syrth* i
dlodi.
25 [p] Yr enaid † hael a fraseir: a'r neb a
ddyfrhao, a ddyfrheir yntau hefyd.
26 [q] Y neb a attalio ei ŷd, y bobl a'i
melldithia: ond bendith *a fydd* ar ben y
neb a'i gwertho.
27 Y neb a ddyfal geisio ddaioni, a ynnill
ewyllys da: [r] ond y neb a geisio ddrwg,
iddo *ei hun* y daw.
28 [s] Y neb a roddo ei oglud ar ei gyfoeth,
a syrth: ond [t] y cyfiawn a flodeuant megis
cangen.
29 Y neb a flino ei dŷ ei hun, a berchen-
noga'r gwynt: a'r ffol *a fydd* gwas i'r syn-
hwyrol ei galon.
30 Ffrwyth y cyfiawn *sydd* megis pren y
bywyd: [u] a'r neb a ‡ ynnillo eneidiau, *sydd*
ddoeth.
31 [x] Wele, telir i'r cyfiawn ar y ddaear:
pa faint mwy i'r drygionus a'r pech-
adur?

[k] Lef. 19. 16. Pen. 20. 19.
[l] 1 Bren. 12. 1, &c. Pen. 15. 22. a 24. 6.
[m] Pen. 6. 1.
† Heb. *Llwyr-ddryllir y neb.*
‡ Heb. *y rhai a dery law.*
[n] Hos. 10. 12. Gal. 6. 8. Iago 3. 18.
[o] Pen. 16. 5.
§ Heb. *Er bod llaw yn llaw.*
‖ Heb. *yn cilio oddi wrth synwyr.*
[p] 2 Cor. 9. 8, 9, 10.
† Heb. *bendith.*
[q] Amos 8. 5, 6.
[r] Psal. 7. 15, 16. a 9. 15, 16. a 10. 2. a 57. 6.
[s] Job 31. 24. Marc 10. 24. 1 Tim. 6. 17.
[t] Psal. 1. 3. a 92. 12, &c. Jer. 17. 8.
[u] Dan. 12. 3.
‡ Heb. *ddalio.*
[x] 1 Petr 4. 17, 18.

## PEN. XII.

Y Neb a garo addysg, a gâr wybodaeth:
ond y neb a gasao gerydd, anifeiliaidd
*yw.*
2 [a] Gwr da a gaiff ffafr gan yr AR-
GLWYDD: ond gwr o ddichellion drwg a
ddamnia efe.
3 Ni sicrhêir dyn trwy ddrygioni: ond
[b] gwraidd y cyfiawn nid ysgoga.
4 [c] Gwraig rymmus *sydd* goron i'w gwr:
ond y waradwyddus *sydd* [d] megis pydredd
yn ei esgyrn ef.
5 Meddyliau 'r cyfiawn *sydd* uniawn:
*a* chynghorion y drygionus *sydd* dwyll-
odrus.
6 [e] Geiriau 'r drygionus *yw* cynllwyn am
waed: [f] ond genau 'r uniawn a'u gwared
hwynt.
7 [g] Difethir y drygionus, fel na *byddont*
hwy: ond tŷ 'r cyfiawn a saif.

Gorph. 1. P. Sul 23 ar ol y Drindod, P.
[a] Pen. 8. 35.
[b] Pen. 10. 25.
[c] 1 Cor. 11. 7.
[d] Pen. 14. 30.
[e] Pen. 1. 11, 18.
[f] Pen. 14. 3.
[g] Psal. 37. 36. Pen. 11. 21.

8 Yn ol ei ddeall y canmolir gwr: ond gwr cyndyn ei galon a ddiystyrir.

9 [h] Gwell *yw*'r hwn a'i cydnabyddo ei hun yn wael, ac *sydd* † was iddo ei hun, nâ'r hwn a'i hanrhydeddo ei hun, ac sydd arno eisiau bara.

10 [i] Y cyfiawn a fydd ofalus am fywyd ei anifail: ond ‡ tosturi'r drygionus *sydd* greulon.

11 [k] Y neb a lafurio ei dir, a ddigonir o fara: ond y neb a ganlyno ofer-*wŷr*, disynwyr *yw*.

12 Y drygionus sydd yn deisyf rhwyd y drygionus: ond gwreiddyn y cyfiawn a rydd *ffrwyth*.

13 [l] § Trwy drosedd *ei* wefusau y meglir y drygionus: ond y cyfiawn a ddaw allan o gyfyngder.

14 [m] Trwy ffrwyth *ei* enau y digonir gwr â daioni; a thaledigaeth dwylaw dyn a delir iddo.

15 [n] Ffordd yr ynfyd *sydd* uniawn yn ei olwg ei hun: ond y neb a wrandawo ar gyngor *sydd* gall.

16 [o] Mewn un dydd y gwybyddir digter yr ynfyd: ond y call a guddia gywilydd.

17 [p] *Y neb* a ddywedo'r gwir, a ddengys gyfiawnder: ond gau dyst *a draetha* dwyll.

18 [q] Rhyw ddyn a ddywed eiriau fel brath cleddyf: ond tafod y doethion *sydd* feddyginiaeth.

19 Gwefus gwirionedd a saif byth: ond tafod celwyddog ni *saif* funud awr.

20 Dichell *sydd* ynghalon y rhai a ddychymmygant ddrwg: ond i gynghorwŷr heddwch *y bydd* llawenydd.

21 Ni ddigwydd i'r cyfiawn ddim blinder: ond y drygionus a lenwir â drwg.

22 [r] Ffiaidd gan yr ARGLWYDD wefusau celwyddog: ond y rhai a wnant yn ffyddlon, a ryngant fodd iddo ef.

23 [s] Gwr pwyllog a gela wybodaeth: ond calon ffyliaid a gyhoedda ffolineb.

24 [t] Llaw'r dïesgeulus a deyrnasa: a *llaw*'r ‖ twyllodrus a fydd dan deyrn-ged.

25 [u] Gofid ynghalon gwr a bair iddi grymmu: ond [x] gair da a'i llawenhâ hi.

26 Y cyfiawn a ragora ar ei gymmydog: ond ffordd y rhai drygionus a'u twylla hwynt.

27 Ni rostia'r twyllodrus ei helwriaeth: ond golud y dyn dïesgeulus sydd werthfawr.

28 Yn ffordd cyfiawnder *y mae* bywyd; ac yn *ei* llwybrau *hi* nid *oes* marwolaeth.

h Pen. 13. 7. † *â gwas ganddo.* i Deut. 25. 4. ‡ Heb. *ymysgaroedd.* k Pen. 28. 19. l Pen. 18. 7. § Heb. *Yn nhrosedd ei wefusau mae magl y drygionus.* m Pen. 13. 2. n Pen. 3. 7. o Pen. 29. 11. p Pen. 14. 5. q Psal. 57. 4. a 59. 7. a 64. 3. r Pen. 6. 17. a 11. 20. Dat. 22. 15. s Pen. 13. 16. a 15. 2. t Pen. 10. 4. ‖ Neu, *diog.* u Pen. 15. 13. x Esay 50. 4.

## PEN. XIII.

MAB doeth *a wrendy* ar athrawiaeth ei dad: ond gwatwarwr ni wrendy ar gerydd.

2 [a] Gwr a fwynhâ ddaioni o ffrwyth *ei* enau: ac enaid yr anghyfiawn *a fwynhâ* drawsedd.

3 [b] Y neb a geidw ei enau, a geidw ei einioes: *ond* y neb a ledo ei wefusau, a ddinystrir.

4 [c] Enaid y dïog a ddeisyf, ac ni *chaiff* ddim: ond enaid y dïwyd a wneir yn fras.

5 Cas gan y cyfiawn gelwydd: ond y drygionus sydd ffiaidd, ac a ddaw i gywilydd.

6 [d] Cyfiawnder a geidw'r perffaith yn ei ffordd: ond annuwioldeb a ddymchwel † y pechadur.

Gorph. 2. B. Sul 24 ar ol y Drindod, B. a Pen. 12. 14. b Pen. 21. 23. c Pen. 10. 4. d Pen. 11. 3, 5, 6. † Heb. *bechod.*

7 [e] Rhyw un a ymffrostia ei *fod* yn gyfoethog, ac heb ddim ganddo: ac arall ei fod yn dlawd, a chyfoeth lawer iddo.

8 Iawn am einioes gwr *yw* ei ddâ: ond y tlawd ni chlyw gerydd.

9 Goleuni y cyfiawn a lawenhâ: [f] ond ‡ canwyll y drygionus a ddiffoddir.

10 Trwy falchedd yn unig y cyffry cynnen: ond gyd â'r pwyllog *y mae* doethineb.

11 [g] Golud *a gasgler* trwy oferedd, a leihêir; ond y neb a gasglo â'i law a 'chwanega.

12 Gobaith a oeder a wanhâ'r galon: ond [h] pren y bywyd *yw* deisyfiad, pan ddêl i ben.

13 Yr hwn a ddirmygo'r gair, a ddifethir: ond yr hwn sydd yn ofni'r gorchymyn, a § obrwyir.

14 [i] Cyfraith y doeth *sydd* ffynnon bywyd, i gilio oddi wrth faglau angau.

15 Deall da a ddyry ras: ond ffordd troseddwŷr *sydd* galed.

16 [k] Pob call a wna *bethau* trwy wybodaeth: ond yr ynfyd a ddengys ynfydrwydd.

17 Cennad annuwiol a syrth i ddrygioni: ond [l] cennad ffyddlon *sydd* iechyd.

18 Tlodi a gwaradwydd *fydd* i'r hwn a wrthodo addysg: ond [m] yr hwn a gadwo gerydd, a anrhydeddir.

19 [n] Dymuniad wedi ei gyflawni, sydd felus gan yr enaid: ond ffiaidd gan ynfydion gilio oddi wrth ddrygioni.

20 Yr hwn a rodia gyd â doethion, fydd doeth: ond yr hwn sydd gyfaill i ynfydion, a ‖ gystuddir.

21 [o] Drygfyd a erlyn bechaduriaid: ond daioni a delir i'r rhai cyfiawn.

22 Y *gwr* daionus a ad etifeddiaeth i feibion *ei* feibion: a [p] golud y pechadur a roddwyd i gadw i'r cyfiawn.

23 [q] Llawer o ymborth *sydd* ym maes y tlodion: ond y mae a ddinystrir o eisiau barn.

24 [r] Yr hwn a arbedo'r wïalen, sydd yn casâu ei fab: ond yr hwn a'i câr ef, a'i cerydda mewn amser.

25 [s] Y cyfiawn a fwytty hyd oni ddigoner ei enaid: ond bol yr annuwiolion fydd mewn eisiau.

e Pen. 12. 9. f Job 18. 6. a 21. 17. ‡ Neu, *lamp.* g Pen. 10. 2. a 20. 21. h Adn. 19. § Neu, *fydd mewn heddwch.* i Pen. 10. 11. a 14. 27. a 16. 22. k Pen. 12. 23. a 15. 2. l Pen. 25. 13. m Pen. 15. 5, 31. n Adn. 12. ‖ Heb. *ddryllir.* o Psal. 32. 10. p Job 27. 17. Pen. 28. 8. Preg. 2. 26. q Pen. 12. 11. r Pen. 19. 18. a 22. 15. a 23. 13. a 29. 15, 17. s Psal. 34. 10. a 37. 3.

## PEN. XIV.

GWRAIG ddoeth a adeilada ei thŷ: ond y ffolog a'i tyn ef i lawr â'i dwylaw.

2 Yr hwn sydd yn rhodio yn ei uniawnder, sydd yn ofni'r ARGLWYDD; [a] a'*r hwn sydd* gyndyn yn ei ffyrdd, sydd yn ei ddirmygu ef.

3 Yngenau'r ffol *y mae* gwïalen balchder: ond [b] gwefusau'r doethion a'u ceidw hwynt.

4 Lle nid *oes* ychen, glân *yw* y preseb: ond llawer o gnwd *sydd yn dyfod* trwy nerth yr ŷch.

5 [c] Tyst ffyddlon ni ddywed gelwydd: ond gau dyst a draetha gelwyddau.

6 Y gwatwarwr a gais ddoethineb, ac ni's *caiff*: ond [d] gwybodaeth *sydd* hawdd i'r deallus.

7 Dos ymaith oddi wrth wr ffol, pan wypech nad *oes ganddo* wefusau gwybodaeth.

8 Doethineb y call *yw* deall ei ffordd ei hun: ond ffolineb y ffyliaid *yw* twyll.

Gorph. 2. P. Sul 24 ar ol y Drindod, P. a Job 12. 4. b Pen. 12. 6. c Adn. 25. Exod. 20. 16. a 23. 1. Pen. 6. 19. a 12. 17. d Pen. 8. 9. a 17. 24.

e Pen. 10. 23. 9 e Y ffyliaid a ymhyfrydant mewn camwedd: ond ym mhlith y rhai uniawn y mae ewyllys da.

10 Y galon sydd yn gwybod chwerwder ei henaid ei hun: a'r dieithr ni bydd gyfrannog o'i llawenydd hi.

11 Tŷ yr annuwiolion a ddinystrir: ond pabell y rhai uniawn a flodeua.

f Pen. 16. 25. 12 f Y mae ffordd sydd uniawn yngolwg dyn: ond ei diwedd hi yw ffyrdd angau.

g Pen. 5. 4. 13 Ië, wrth chwerthin y bydd blin ar y galon; a g diwedd y llawenydd hwnnw yw tristwch.

h Pen. 1. 31. a 12. 14. † Neu, a ddigonir gantho ei hun. 14 Y gwrthnysig o galon h a gaiff ddigon o'i ffyrdd ei hun: ond y gwr daionus † a gilia oddi wrtho ef.

15 Yr ehud a goelia bob gair: a'r call a ddeil ar ei gamrau.

i Pen. 22. 3. 16 i Y doeth sydd yn ofni, ac yn cilio oddi wrth ddrygioni: ond y ffol sydd ffrom a hyderus.

17 *Gwr* digllon a wna ffolineb: a chas yw'r gwr dichellgar.

18 Y rhai ehud a etifeddant ffolineb: ond y rhai call a goronir â gwybodaeth.

19 Y rhai drygionus a ymostyngant ger bron y daionus: a'r annuwiol ym mhyrth y cyfiawn.

k Pen. 19. 7. 20 k Y tlawd a gasêir, ïe, gan ei gymmydog ei hun: ond llawer fydd yn caru'r cyfoethog.

21 A ddirmygo ei gymmydog, sydd yn pechu: ond l y trugarog wrth y tlawd, gwyn ei fyd ef. l Psal. 41. 1. a 112. 9.

22 Onid ydyw'r rhai a ddychymygant ddrwg yn cyfeiliorni? eithr trugaredd a gwirionedd *a fydd* i'r sawl a ddychymygant ddaioni.

23 Ym mhob llafur y mae elw: ond o eiriau gwefusau nid *oes* dim ond tlodi.

24 Coron y doethion *yw* eu cyfoeth: *ond* ffolineb y ffyliaid *sydd* ffolineb.

m Adn. 5. 25 m Tyst ffyddlon a weryd eneidiau: *ond* y twyllodrus a ddywed gelwyddau.

26 Yn ofn yr ARGLWYDD *y mae* gobaith cadarn: ac i'w blant ef y bydd noddfa.

n Pen. 13. 14. 27 n Ofn yr ARGLWYDD *yw* ffynnon y bywyd, i ddiangc rhag maglau angau.

28 Mewn amlder y bobl *y mae* anrhydedd y brenhin: ac o ddiffyg pobl y dinystrir y tywysog.

‡ Heb. *byr.* 29 Y dïog i ddigofaint *sydd* yn llawn o synwyr: ond y ‡ digllon ei ysbryd a ddyrchafa ynfydrwydd.

o Psal. 112. 10. p Pen. 12. 4. 30 Calon iach *yw* bywyd y cnawd: ond o cynfigen p a bydra'r esgyrn.

q Pen. 17. 5. Mat. 25. 40, 45. r Pen. 22. 2. Edrych Job 31. 15, 16. 31 q Y neb a orthrymma'r tlawd, a gywilyddia r ei greawdydd: ond y neb a drugarhao wrth yr anghenus, a'i hanrhydedda ef.

s Job 13. 15. a 19. 26. Psal. 23. 4. 2 Cor. 1. 9. 32 Y drygionus a yrrir ymaith yn ei ddrygioni: ond s y cyfiawn a obeithia pan fyddo yn marw.

t Pen. 12. 16. a 29. 11. 33 Doethineb sydd yn gorphwys ynghalon y call: ond t *yr hyn sydd* ynghalon ffyliaid a wybyddir.

34 Cyfiawnder a ddyrchafa genedl: ond cywilydd pobloedd *yw* pechod.

35 Ewyllys da'r brenhin *sydd* ar ei was synhwyrol: ond ei ddigofaint a fydd ar *was* gwaradwyddus.

Gorph. 3. B. Sul 25 ar ol y Drindod, B.

## PEN. XV.

a Pen. 25. 15. a ATTEB arafaidd a ddettry lid: ond gair garw a gyffry ddigofaint.

2 Tafod y synhwyrol a draetha wybodaeth yn dda: ond b genau'r ffyliaid † a dywallt ffolineb. b Adn. 28. Pen. 12. 23. a 13. 16. † Heb. *a fytheria.*

3 c Ym mhob lle y mae llygaid yr ARGLWYDD, yn canfod y drygionus a'r daionus. c Job 34. 21. Pen. 5. 21. Jer. 16. 17. Heb. 4. 13.

4 Pren y bywyd *yw* ‡ tafod iach: ond trawsedd ynddo *sydd* rwyg yn yr ysbryd. ‡ Heb. *meddyginiaeth tafod.*

5 d Dyn ffol a ddïystyra addysg ei dad: ond e y neb a ddioddefo gerydd, sydd gall. d Pen. 10. 1. e Pen. 13. 18. Adn. 31, 32.

6 Yn nhŷ'r cyfiawn *y bydd* mawr gyfoeth: ond am olud yr annuwiol y mae trallod.

7 Gwefusau'r doethion a wasgarant wybodaeth: ond calon y ffyliaid ni *wna* felly.

8 f Aberth yr annuwiol *sydd* ffiaidd gan yr ARGLWYDD: ond gweddi'r uniawn *sydd* hoff ganddo. f Pen. 21. 27. Esay 1. 11. a 61. 8. a 66. 3. Jer. 6. 20. a 7. 22. Amos 5. 22.

9 Ffordd yr annuwiol *sydd* ffiaidd gan yr ARGLWYDD: ond efe a gâr y neb g a ddilyn gyfiawnder. g Pen. 21. 21. 1 Tim. 6. 11.

10 § Cerydd *sydd* flin gan y neb a drŷ oddi ar y ffordd: h *a'r* neb a gasao gerydd, a fydd marw. § Neu, *Addysg.* h Pen. 5. 12. a 10. 17.

11 i Uffern a dinystr *sydd* ger bron yr ARGLWYDD: pa faint mwy, k calonnau plant dynion? i Job 26. 6. Psal. 139. 8. k 2 Chron. 6. 30. Psal. 7. 9. a 44. 21. Ioan 2. 24, 25. a 21. 17. Act. 1. 24.

12 Ni châr y gwatwarwr mo'r neb a'i ceryddo; ac nid â at y doethion.

13 l Calon lawen a wna wyneb siriol: ond m trwy ddolur y galon y torrir yr ysbryd. l Pen. 17. 22. m Pen. 12. 25.

14 Calon y synhwyrol a ymgais â gwybodaeth: ond genau'r ffyliaid a borthir â ffolineb.

15 Holl ddyddiau'r cystuddiedig *sydd* flin: ond gwledd wastadol yw calon lawen.

16 n Gwell *yw* ychydig gyd ag ofn yr ARGLWYDD, nâ thrysor mawr a thrallod gyd ag ef. n Psal. 37. 16. Pen. 16. 8. 1 Tim. 6. 6.

17 o Gwell *yw* prŷd o ddail lle byddo cariad, nag ŷch pasgedig a chas gyd ag ef. o Pen. 17. 1.

18 p Gwr digllon a gyffry gynnen: ond *gwr* hwyrfrydig i lid a dyr ymryson. p Pen 26. 21. a 29. 22.

19 q Ffordd y dïog *sydd* fel cae drain: ond ffordd yr uniawn || *sydd* wastad. q Pen. 22. 5. || Heb. *a godir yn sarn.*

20 r Mab doeth a lawenhâ ei dâd: ond dyn ffol a ddïystyra ei fam. r Pen. 10. 1. a 29. 3.

21 s Ffolineb *sydd* hyfryd gan yr † ynfyd: ond gwr deallus a rodia yn uniawn. s Pen. 10. 23. † Heb. *hwn sydd heb galon.*

22 t Ofer fydd bwriadau lle ni byddo cyngor: ac mewn amlder cynghorwŷr y sicrhêir *hwynt.* t Pen. 11. 14. a 20. 18.

23 Llawenydd fydd i wr o herwydd ymadrodd ei enau; ac u *O* mor dda *yw* gair yn ei amser! u Pen. 25. 11.

24 x Ffordd y bywyd *sydd* ‡ fry i'r synhwyrol, i ochel uffern § obry. x Phil. 3. 20. Col. 3. 1, 2. ‡ *i fynu.* § *i waered.*

25 y Yr ARGLWYDD a ddiwreiddia dŷ'r beilchion: ond z efe a sicrhâ derfyn y weddw. y Pen. 12. 7. a 14. 11.

26 a Meddyliau'r annuwiol *sydd* ffiaidd gan yr ARGLWYDD: ond geiriau'r glân *ynt* beraidd. z Psal. 68. 5, 6. a 146. 9.

27 b Y neb a fyddo dra-chwannog i elw, a derfysga ei dŷ: ond y neb a gasao roddion, fydd byw. a Pen. 6. 18.

28 Calon y cyfiawn a fyfyria i atteb: ond genau'r drygionus a dywallt allan ddrwg. b Pen. 11. 19.

29 c Pell *yw'r* ARGLWYDD oddi wrth c Psal. 34. 16.

y rhai annuwiol: ond [d] efe a wrendy wed-
di'r cyfiawn.
30 Llewyrch y llygaid a lawenhâ'r galon:
a gair da a frasa'r esgyrn.
31 Y glust a wrandawo ar gerydd y
bywyd, a breswylia ym mhlith y doethion.
32 Y neb a wrthodo † addysg, a ddïystyra
ei enaid ei hun: ond y neb a wrandawo ar
gerydd, a feddianna ‡ ddeall.
33 [e] Addysg doethineb *yw* ofn yr ARGLWYDD; ac [f] o flaen anrhydedd *yr â*
gostyngeiddrwydd.

[d] Psal. 145. 18, 19. † Neu, *gerydd.* ‡ Heb. *galon.* [e] Pen. 1. 7. [f] Pen. 18. 12.

## PEN. XVI.

[a] PAROTTOAD y galon mewn dyn, ac
ymadrodd y tafod, oddi wrth yr ARGLWYDD *y mae.*
2 [b] Holl ffyrdd dyn *ydynt* lân yn ei olwg
ei hun: ond yr ARGLWYDD a bwysa'r
ysprydion.
3 [c] Treigla dy weithredoedd ar yr ARGLWYDD, a'th feddyliau a safant.
4 Yr ARGLWYDD a wnaeth bob *peth* er
ei fwyn ei hun: [d] a'r annuwiol hefyd erbyn
y dydd drwg.
5 [e] Ffiaidd gan yr ARGLWYDD bob dyn
uchel galon: † [f] *er* maint *fyddo* ei gym-
morth, ni bydd dïeuog.
6 Trwy drugaredd a gwirionedd y dilêir
pechod: a [g] thrwy ofn yr ARGLWYDD *y
mae* ymado oddi wrth ddrwg.
7 Pan fyddo ffyrdd gwr yn rhyngu bodd
i'r ARGLWYDD, efe a bair i'w elynion fod
yn heddychol ag ef.
8 [h] Gwell *yw* ychydig trwy gyfiawnder,
nâ chnwd mawr trwy gam.
9 [i] Calon dyn a ddychymmyg ei ffordd:
ond yr ARGLWYDD a gyfarwydda ei gerdd-
ediad ef.
10 ‡ Ymadrodd DUW *sydd* yngwefus-
au'r brenhin: ni ŵyra ei enau ef mewn barn.
11 [k] Pwys a chloriannau cywir, yr ARGLWYDD *a'u pïau:* ei waith ef *yw* holl
§ gerrig y gôd.
12 Ffiaidd *yw* i frenhinoedd wneuthur
annuwioldeb: canys [l] trwy gyfiawnder y
cadarnhêir yr orsedd.
13 [m] Gwefusau cyfiawn *sydd* gymmer-
adwy gan frenhinoedd; a'r brenhin a gâr a
draetho yr uniawn.
14 [n] Digofaint y brenhin *sydd* megis cen-
nad angau; ond gwr doeth a'i gostega.
15 Yn siriol wynebpryd y brenhin *y mae*
bywyd: [o] a'i ewyllys da ef *sydd* [p] megis
cwmmwl gwlaw diweddar.
16 [q] Cael doethineb, O mor well *yw* nag
aur coeth! a chael deall, mwy dymunol *yw*
nag arian.
17 Sarn y cyfiawn *yw* dychwelyd oddi
wrth ddrwg: y neb a gadwo ei ffordd, a
geidw ei enaid.
18 [r] Balchder *sydd yn myned* o flaen dinystr: ac uchder yspryd o flaen cwymp.
19 Gwell *yw* bod yn ostyngedig gyd â'r
gostyngedig, nâ rhannu'r yspail gyd â'r
beilchion.
20 A ‖ drino fatter yn ddoeth, a gaiff
ddaioni: a'r neb [s] a ymddiriedo yn yr ARGLWYDD, O gwŷn ei fyd hwnnw!
21 Y doeth ei galon a elwir yn ddeallus;
a melusder y gwefusau a 'chwanega ddysg-
eidiaeth.
22 [t] Ffynnon y bywyd *yw* deall i'w
pherchennog: ond addysg ffyliaid *yw* ffoli-
neb.
23 Calon y doeth a reola ei enau ef yn

Gorph. 3. P. Sul 25 ar ol y Drindod, P. [a] Adn. 9. Pen. 19. 21. a 20. 24. Jer. 10. 23. [b] Pen. 21. 2. [c] Psal. 37. 5. a 55. 22. Mat. 6. 25. Luc 12. 22. Phil. 4. 6. 1 Petr 5. 7. [d] Job 21. 30. Rhuf. 9. 22. [e] Pen. 6. 17. a 8. 13. † Heb. *er bod llaw yn llaw.* [f] Pen. 11. 21. [g] Pen. 14. 16. [h] Psal. 37. 16. Pen. 15. 16. [i] Adn. 1. ‡ Heb. *Dewiniaeth.* [k] Lef. 19. 36. Pen. 11. 1. § Neu, *bwysau.* [l] Pen. 25. 5. a 29. 14. [m] Pen. 14. 35. a 22. 11. [n] Pen. 19. 12. a 20. 2. [o] Pen. 19. 12. [p] Job 29. 23. Zech. 10. 1. [q] Pen. 8. 11, 19. [r] Pen. 11. 2. a 17. 19. a 18. 12. ‖ Neu, *a ddeallo fatter, a gaiff.* [s] Psal. 2. 12. a 34. 8. a 125. 1. Esay 30. 18. Jer. 17. 7. [t] Pen. 13. 14. a 14. 27.

synhwyrol, ac a 'chwanega addysg i'w we-
fusau.
24 Geiriau teg *ydynt* megis dil mel, yn
felus i'r enaid, ac yn iachus i'r esgyrn.
25 [u] Mae ffordd a dybir ei bod yn un-
iawn yngolwg dyn: ond ei diwedd *yw*
ffyrdd marwolaeth.
26 † [x] Y neb a lafurio, a lafuria iddo ei
hun; canys ei enau ‡ a'i gofyn ganddo.
27 Dyn § i'r fall sydd yn cloddio drwg:
ac ar ei wefusau *yr erys* fel tân poeth.
28 [y] Dyn cyndyn a bair ymryson: [z] a'r
hustyngwr a neilldua dywysogion.
29 Gwr traws [a] a huda ei gymmydog, ac
a'i tywys i'r ffordd nid *yw* dda.
30 Efe a gau ei lygaid i ddychymmyg
trawsedd; gan symmud ei wefusau y dwg
efe ddrwg i ben.
31 [b] Coron anrhydeddus *yw* penllwydni,
*os* bydd mewn ffordd cyfiawnder.
32 Gwell *yw*'r dïog i ddigofaint nâ'r
cadarn; a'r neb a reola ei yspryd ei hun,
nâ'r hwn a ynnillo ddinas.
33 Y coelbren a fwrir i'r arffed: ond
oddi wrth yr ARGLWYDD *y mae* ei holl ly-
wodraethiad ef.

[u] Pen. 14. 12. † Heb. *Enaid y neb.* [x] Preg. 6. 7. Edrych Pen. 9. 12. ‡ Heb. *a ymostwng iddo.* § Heb. *i Belial.* [y] Pen. 6. 14, 19. a 15. 18. a 26. 21. a 29. 22. [z] Pen. 17. 9. [a] Pen. 1. 10, &c. [b] Pen. 20. 29.

## PEN. XVII.

GWELL *yw* [a] tammaid sych a llonyddwch
gyd ag ef, nâ thŷ yn llawn o † aberth-
au gyd ag ymryson.
2 Gwas synhwyrol a feistrola ar [b] fab
gwaradwyddus; ac a gaiff ran o'r etifedd-
iaeth ym mhlith y brodyr.
3 [c] Y tawddlestr *sydd* i'r arian, a'r ffwrn
i'r aur: ond yr hwn a brawf y calonnau
*yw*'r ARGLWYDD.
4 Y drygionus a wrendy ar wefus anwir;
*a*'r celwyddog a rydd glust i dafod drwg.
5 [d] Y neb a watwaro'r tlawd, sydd yn
gwaradwyddo ei wneuthurwr ef: [e] *a*'r neb a
ymddigrifo mewn cystudd, ni bydd dïeuog.
6 [f] Coron yr henafgwŷr *yw* eu hwyrion;
ac anrhydedd y plant *yw* eu tadau.
7 Anweddaidd *yw* i ffol ‡ ymadrodd
rhagorol; mwy o lawer i bendefig wefusau
celwyddog.
8 [g] Maen gwerthfawr *yw* anrheg yngolwg
ei pherchennog; pa le bynnag y tro, hi a
ffynna.
9 [h] Y neb a guddia bechod, sydd yn
§ ceisio cariad: ond [i] y neb a adnewydda
fai, sydd yn neillduo ‖ tywysogion.
10 *Un* sen a ofna'r call yn fwy, nâ phe
baeddid y ffol ganwaith.
11 Y dyn drwg sydd â'i fryd ar derfysg
yn unig: a chennad greulon a anfonir yn ei
erbyn ef.
12 [k] Gwell i wr gyfarfod ag arthes
wedi colli ei chenawon, nag â'r ffol yn ei
ffolineb.
13 Y neb [l] a dalo ddrwg dros dda, nid
ymedy drwg â'i dŷ ef.
14 Pen y gynnen *sydd megis* pan agorid
† argae: am hynny [m] gâd ymaith ymryson
cyn ymyrryd arni.
15 [n] Y neb a gyfiawnhao'r drygionus, ac
a gondemnio'r gwirion; ffiaidd gan yr ARGLWYDD *ydynt* ill dau.
16 Paham *y bydd* gwerth yn llaw'r ffol i
berchennogi doethineb, ac *yntau* heb galon
*gantho?*
17 [o] Cydymmaith a gâr bob amser: a
brawd a anwyd erbyn caledi.
18 [p] Dyn heb ‡ bwyll a dery ei law, ac a
fachnïa o flaen ei gyfaill.

Gorph. 4. B. Sul 26 ar ol y Drindod, B. [a] Pen. 15. 17. † Heb. *fyd da.* [b] Pen. 10. 5. a 19. 26. [c] Psal. 26. 2. Pen. 27. 21. Jer. 17. 10. Mal. 3. 3. [d] Pen. 14. 31. [e] Job 31. 29. [f] Psal. 127. 3. a 128. 3. ‡ Heb. *wefus rhagoriaeth.* [g] Pen. 18. 16. a 19. 6. [h] Pen. 10. 12. § Neu, *peri.* [i] Pen. 16. 28. ‖ *cyfeillion.* [k] Hos. 13. 8. [l] Rhuf. 12. 17. 1 Thess. 5. 15. 1 Petr 3. 9. † Heb. *cyfarfodd.* [m] Pen. 20. 3. [n] Exod. 23. 7. Pen. 24. 24. Esay 5. 23. [o] Pen. 18. 24. [p] Pen. 6. 1. a 11. 15. ‡ Heb. *galon.*

19 Y neb sydd hoff ganddo ymsennu, sydd hoff ganddo bechod; [q] a'r hwn sydd yn gwneuthur ei ddrws yn uchel, sydd yn ceisio niweid.

20 Y cyndyn ei galon ni chaiff ddaioni: a'r hwn sydd drofaus yn ei dafod, a syrth i ddrwg.

21 [r] Y neb a genhedlo un ffol, *a ynnill* iddo ei hun dristwch: ac ni bydd lawen tad yr ynfyd.

22 [s] Calon lawen a wna les † *fel* meddyginiaeth: ond meddwl trwm a sych yr esgyrn.

23 Yr annuwiol a dderbyn rodd o'r fynwes, i gam-droi llwybrau barn.

24 [t] Doethineb *sydd* yn wyneb y deallgar: ond llygaid y ffyliaid *sydd* ynghyrrau 'r byd.

25 [u] Mab ffol *a bair* ddigllonedd i'w dad, a chwerwder ‡ i'w fam.

26 Hefyd nid da cospi 'r cyfiawn, *na* tharo pennaethiaid, *pan fyddant* ar yr iawn.

27 [x] Gwr synhwyrol a attal ei ymadroddion: *a* gwr pwyllog sydd § ymarhous ei yspryd.

28 [y] Y ffol, tra tawo, a gyfrifir yn ddoeth; a'r neb a gauo ei wefusau, yn ddeallus.

q Pen. 16. 18. r Pen. 10. 1. Adn. 25. s Pen. 15. 13. a 12. 25. † Neu, *i feddyginiaeth.* t Pen. 14. 6. Preg. 2. 14. a 8. 1. u Pen. 10. 1. a 15. 20. a 19. 13. ‡ Heb. *i'r hon a'i hesgorodd.* x Iago 1. 19. § Neu, *oer,* neu, *oddiaug.* y Job 13. 5.

## PEN. XVIII.

† Y Neillduol a gais wrth *ei* ddeisyfiad *ei hun, ac* a ymyrra â phob peth.

2 Y ffol nid hoff ganddo ddeall; ond bod i'w galon ei datguddio ei hun.

3 Wrth ddyfodiad y drygionus y daw dïystyrwch, a chyd â gogan gwaradwydd.

4 [a] Geiriau ynghenau gwr *sydd fel* dyfroedd dyfnion; *a* ffynnon doethineb *sydd megis* afon yn llifo.

5 [b] Nid da derbyn wyneb yr annuwiol, i ddymchwelyd y cyfiawn mewn barn.

6 Gwefusau 'r ffol a ant i mewn i gynnen, a'i enau a eilw am ddyrnodiau.

7 [c] Genau 'r ffol *yw* ei ddinystr, a'i wefusau *sydd* fagl i'w enaid.

8 [d] Geiriau 'r hustyngwr *sydd* megis ‡ archollion, ac a ddisgynant i § gilfachau 'r bol.

9 Y neb a fyddo dïog yn ei waith, sydd [e] frawd i 'r treulgar.

10 [f] Twr cadarn *yw* enw 'r ARGLWYDD: atto y rhed y cyfiawn, ac y mae yn || ddïogel.

11 [g] Cyfoeth y cyfoethog sydd iddo yn ddinas gadarn, ac yn fur uchel, yn ei dyb ei hun.

12 [h] Cyn dinystr y balchïa calon gwr; a chyn anrhydedd *y bydd* gostyngeiddrwydd.

13 Y neb a † attebo beth cyn *ei* glywed, ffolineb a chywilydd *fydd* iddo.

14 Yspryd gwr a gynnal ei glefyd ef: ond yspryd cystuddiedig pwy a'i ‡ cyfyd?

15 Calon y pwyllog a berchennoga wybodaeth; a chlust y doethion a gais wybodaeth.

16 [i] Rhodd dyn a ehanga arno, ac a'i dwg ef ger bron pennaethiaid.

17 Y cyntaf yn ei hawl *a dybir ei fod* yn gyfiawn: ond ei gymmydog a ddaw ac a'i chwilia ef.

18 Y coelbren a wna i gynhennau beidio, ac a § athrywyn rhwng cedyrn.

19 Anhaws *yw ynnill ewyllys da* brawd pan ddigier, nâ dinas gadarn: a'u bymryson sydd megis trosol castell.

Gorph. 4. P. † Neu, *Trwy ddeisyfiad y cais y neillduol, ac yr ymyrr â phob doethineb.* Edrych Judas 19. a Pen. 10. 11. a 20. 5. b Lef. 19. 15. Deut. 1. 17. a 16. 19. Pen. 24. 23. c Pen. 10. 14. a 12. 13. a 13. 3. Preg. 10. 12. d Pen. 12. 18. a 26. 22. ‡ Neu, *rhai a archollwyd.* § Heb. *ystafelloedd.* e Pen. 28. 24. f 2 Sam. 21. 51. Psal. 18. 2. a 27. 1. a 61. 4. a 91. 2. a 144. 2. || Heb. *ddyrchafedig.* g Pen. 10. 15. h Pen. 11. 2. a 15. 33. a 16. 18. † Heb. *adfero air.* ‡ Neu, *dwg?* i Pen. 17. 8. a 21. 14. § *wahana.*

20 [k] A ffrwyth genau gwr y diwellir ei fol; *ac* o ffrwyth y gwefusau y digonir ef.

21 [l] Angau a bywyd *sydd* ym meddiant y tafod: a'r rhai a'i hoffant ef, a fwyttânt ei ffrwyth ef.

22 [m] *Y neb* sydd yn cael gwraig, sydd yn cael *peth* daionus, ac yn cael ffafr gan yr ARGLWYDD.

23 Y tlawd a ymbil; a'r cyfoethog a ettyb [n] yn erwin.

24 Y neb y mae iddo gyfeillion, cadwed gariad: [o] ac y mae cyfaill a lŷn *wrthyt* yn well nâ brawd.

k Pen. 12. 14. a 13. 2. l Edrych Mat. 12. 37. m Pen. 19. 14. a 31. 10. n Iago 2. 3. o Pen. 17. 17.

## PEN. XIX.

[a] GWELL *yw*'r tlawd a rodio yn ei uniondeb, nâ'r traws ei wefusau, ac yntau yn ffol.

2 Hefyd, *bod* yr enaid heb wybodaeth, nid *yw* dda; a'r hwn sy brysur *ei* draed a becha.

3 Ffolineb dyn a ŵyra ei ffordd ef: a'i galon a ymddigia yn erbyn yr ARGLWYDD.

4 [b] Cyfoeth a 'chwanega lawer o gyfeillion: ond y tlawd a ddidolir oddi wrth ei gymmydog.

5 [c] Tyst celwyddog ni bydd dïeuog: a lluniwr celwyddau ni ddïangc.

6 [d] Llawer a ymbiliant o flaen pendefig: a [e] phawb *sydd* gyfaill † i'r hael.

7 [f] Holl frodyr y tlawd a'i casânt ef: pa faint mwy yr ymbellhâ ei gyfeillion oddi wrtho? er maint a ‡ ymnheddo, ni throant atto.

8 A gaffo § ddoethineb a gâr ei enaid: a gadwo ddeall a ynnill ddaioni.

9 [g] Tyst celwyddog ni bydd dïeuog: a thraethwr celwyddau a ddifethir.

10 Nid gweddaidd i ffol hyfrydwch: anweddeiddiach o lawer [h] i was arglwyddiaethu ar bennaethiaid.

11 [i] || Synwyr dyn a oeda ei ddigofaint ef: a harddwch *yw* iddo fyned dros gamwedd.

12 [k] Llid y brenhin *sydd* megis rhuad llew ieuangc: ond ei ffafr ef *sydd* megis gwlith ar laswellt.

13 [l] Mab ffol *sydd* orthrymder i'w dad: [m] ac ymserth gwraig *sydd* megis defni parhâus.

14 Tŷ a chyfoeth *ynt* etifeddiaeth y tadau: ond [n] *rhodd* yr ARGLWYDD *yw* gwraig bwyllog.

15 Syrthni a bair drymgwsg: *ac* [o] enaid † twyllodrus a newyna.

16 [p] Y neb a gadwo 'r gorchymyn a geidw ei enaid: *a'r* neb a esgeulusa ei ffyrdd fydd marw.

17 [q] Y neb a gymmero drugaredd ar y tlawd, sydd yn rhoddi echwyn i'r ARGLWYDD; a'i ‡ rodd a dâl efe iddo drachefn.

18 [r] Cerydda dy fab tra fyddo gobaith; ac nac arbeded dy enaid ef, § i'w ddifetha.

19 Y mawr ei ddig a ddwg gospedigaeth: canys os ti a'i gwaredi, rhaid it' || wneuthur hynny drachefn.

20 Gwrando gyngor, a chymmer addysg; fel y byddech ddoeth yn dy ddiwedd.

21 [s] Bwriadau lawer *sydd* ynghalon dyn: ond cyngor yr ARGLWYDD, hwnnw a saif.

22 Deisyfiad dyn *yw* ei drugaredd ef: a gwell *yw* 'r dyn tlawd nâ'r gwr celwyddog.

Gorph. 5. B. Sul 26 ar ol y Drindod, P. a Pen. 28. 6. b Pen. 14. 20. c Adn. 9. Exod. 23. 1. Deut. 19. 16, 19. Pen. 6. 19. a 21. 28. d Pen. 29. 26. e Pen. 17. 8. a 18. 16. a 21. 14. † Heb. *i wr rhoddion.* f Pen. 14. 20. ‡ *ymbil.* § Heb. *galon.* g Adn. 5. h Pen. 30. 22. Preg. 10. 6, 7. i Pen. 14. 29. || Neu, *Callineb.* k Pen. 16. 14, 15. a 20. 2. a 28. 15. l Pen. 10. 1. a 15. 20. a 17. 21, 25. m Pen. 21. 9, 19. a 27. 15. n Pen. 18. 22. o Pen. 10. 4. a 20. 13. a 23. 21. † Neu, *segurllyd.* p Luc 10. 28. a 11. 28. q Pen. 28. 27. Mat. 10. 42. a 25. 40. 2 Cor. 9. 6, 7. ‡ Neu, *waith.* r Pen. 13. 24. a 23. 13. § *er iddo weiddi.* || Heb. *ychwanegu.* s Job 23. 13. Psal. 33. 10, 11. Pen. 16. 1, 9. Esay 14. 26, 27. a 46. 10. Heb. 6. 17.

23 Ofn yr ARGLWYDD *a dywys* i fywyd: a'r *neb y byddo ganddo* a erys yn ddiwall, heb i ddrwg ymweled ag ef.

24 [t] Y *dyn* swrth a gudd ei law yn *ei* fynwes, ac ni estyn hi at ei enau.

25 [u] Taraw watwarwr, a'r ehud fydd gyfrwyssach: a phan geryddech y deallus, efe a ddeall wybodaeth.

26 [x] Mab gwaradwyddus gwarthus a anrheithia ei dad, ac a yrr ei fam ar grwydr.

27 Fy mab, paid â gwrando'r addysg *a bair i ti* gyfeiliorni oddi wrth eiriau gwybodaeth.

28 Tyst † y fall a watwar farn: a [y] genau'r drygionus a lwngc anwiredd.

29 Barn sydd barod i'r gwatwarwŷr, a chleisiau i gefn y ffyliaid.

t Pen. 15. 19. a 26. 13, 15.
u Pen. 21. 11.
x Pen. 17. 2.
† Heb. *Belial.*
y Job 15. 16. a 20. 12, 13. a 34. 7.

## PEN. XX.

Gorph. 5. P. S. Andreas, B.

[a] GWATWARUS *yw* gwin, a therfysgaidd *yw* dïod gadarn: pwy bynnag a siommir ynddi, nid yw ddoeth.

2 [b] Megis rhuad llew ieuangc *yw* ofn y brenhin: y mae'*r neb* a'i cyffrô ef i ddigofaint yn pechu *yn erbyn* ei enaid ei hun.

3 [c] Anrhydeddus *yw* i wr beidio ag ymryson: ond pob ffol a fyn ymyrraeth.

4 [d] Y dïog nid ardd, o herwydd oerder *y gauaf; am hynny* y cardotta efe y cynhauaf, ac ni *chaiff* ddim.

5 [e] *Megis* dyfroedd dyfnion *yw* pwyll ynghalon gwr: etto'r gwr call a'i tynn allan.

6 [f] Llawer dyn a gyhoedda ei † drugarowgrwydd ei hun: ond pwy a gaiff wr ffyddlon?

7 Y cyfiawn a rodia yn ei uniondeb: gwŷn eu byd [g] ei blant ar ei ol ef.

8 [h] Brenhin yn eistedd ar orsedd barn, a wasgar â'i lygaid bob drwg.

9 [i] Pwy a ddichon ddywedyd, Mi a lanheais fy nghalon, glân wyf oddi wrth fy mhechod?

10 [k] ‡ Amryw bwysau, *ac* amryw fesurau, ffiaidd gan yr ARGLWYDD bob un o'r ddau.

11 Bachgen a adweinir wrth ei waith, ai pur ai uniawn *yw* ei waith.

12 [l] Y glust yn clywed, a'r llygad yn gweled, yr ARGLWYDD a wnaeth bob un o'r ddau.

13 [m] Na châr gysgu, rhag dy fyned yn dlawd: agor dy lygaid, fel y'th ddigoner â bara.

14 Drwg, drwg, medd y prynwr: ond pan el o'r neilldu, efe a ymffrostia.

15 Y mae aur, a gemmau lawer: ond [n] gwefusau gwybodaeth *sydd* § ddodrefnyn gwerthfawr.

16 [o] Cymmer wisg y gwr a fachnïo *dros* estron; a chymmer wystl ganddo dros estrones.

17 [p] Melus gan wr fara *trwy* ffalsedd: ond o'r diwedd ei enau a lenwir â graian.

18 [q] Bwriadau a sicrhêir trwy gyngor: a [r] thrwy gyngor dïesgeulus dos i ryfela.

19 [s] Y neb a fyddo athrodwr a ddatguddia gyfrinach: am hynny nac ymyrr â'r hwn a || wenhieithio â'i wefusau.

20 [t] Y neb a felldithio ei dad neu ei fam, [u] ei † ganwyll a ddiffoddir yn y tywyllwch du.

a Esay 28. 7. Hos. 4. 11.
b Pen. 16. 14. a 19. 12.
c Pen. 17. 14.
d Pen. 10. 4.
e Pen. 18. 4.
f Pen. 25. 14.
† Neu, *haelioni.*
g Psal. 112. 2.
h Adn. 26.
i 1 Bren. 8. 46. 2 Chron. 6. 36. Job 14. 4. Psal. 51. 5. Preg. 7. 20. 1 Ioan 1. 8.
k Adn. 23. Deut. 25. 13, &c. Pen. 11. 1. a 16. 11. Mic. 6. 10, 11.
‡ Heb. *Carreg a charreg, ephah ac ephah.*
l Exod. 4. 11. Psal. 94. 9.
m Pen. 6. 9. a 12. 11. a 19. 15.
n Pen. 3. 15. a 8. 11.
§ *dlws.*
o Pen. 22. 27. a 27. 13.
p Pen. 9. 17.
q Pen. 15. 22. a 24. 6.
r Luc 14. 31.
s Pen. 11. 13.
|| Neu, *ddenu.*
t Exod. 21. 17. Lef. 20. 9. Mat. 15. 4.
u Pen. 24. 20.
† Neu, *lamp.*

21 [x] Etifeddiaeth a geir ar frys yn y dechreuad; ond ei diwedd ni fendithir.

22 [y] Na ddywed, Mi a dalaf ddrwg: disgwyl wrth yr ARGLWYDD, ac efe a'th achub.

23 [z] Ffiaidd gan yr ARGLWYDD amryw bwysau; a chlorian twyllodrus nid *yw* dda.

24 [a] Oddi wrth yr ARGLWYDD *y mae* cerddediad gwr: ond beth a ddeall dyn o'i ffordd ei hun?

25 Magl *yw* i wr lyngcu peth cyssegredig; ac wedi addunedu, ymofyn.

26 [b] Brenhin doeth a wasgar yr annuwiol, ac a dry'r olwyn arnynt.

27 [c] ‡ Canwyll yr ARGLWYDD *yw* yspryd dyn, yn chwilio holl gelloedd y bol.

28 [d] Trugaredd a ffyddlondeb a gadwant y brenhin; a'i orseddfa a gadarnhêir trwy drugaredd.

29 Gogoniant gwŷr ieuaingc *yw* eu nerth; a [e] harddwch henafgwŷr *yw* gwallt gwŷn.

30 Cleisiau briw § a lanhâ ddrwg: felly *y gwna* dyrnodiau gelloedd y bol.

x Pen. 28. 20.
y Deut. 32. 35. Pen. 17. 13. a 24. 29. Rhuf. 12. 17. 1 Thess. 5. 15. 1 Petr 3. 9.
z Adn. 10.
a Psal. 37. 23. Pen. 16. 9. Jer. 10. 23.
b Psal. 101. 5, &c. Adn. 8.
c 1 Cor. 2. 11.
‡ Neu, *Lamp.*
d Psal. 101. 1. Pen. 29. 14.
e Pen. 16. 31.
§ Heb. *sydd feddyginiaeth i.*

## PEN. XXI.

Gorph. 6. B. S. Andreas, P.

*FEL* afonydd o ddwfr *y mae* calon y brenhin yn llaw'r ARGLWYDD: efe a'i try hi lle y mynno.

2 [a] Pob ffordd gwr *sydd* uniawn yn ei olwg ei hun: ond yr ARGLWYDD a bwysa'r calonnau.

3 [b] Gwneuthur cyfiawnder a barn *sydd* well gan yr ARGLWYDD nag aberth.

4 [c] Uchder golwg, a balchder calon, † *ac* âr yr annuwiol, *sydd* bechod.

5 [d] Bwriadau'r dïesgeulus *sydd* at helaethrwydd yn unig: ond ‡ yr eiddo pob prysur at eisiau yn unig.

6 [e] Trysorau a gasgler â thafod celwyddog, a chwelir megis gwagedd gan y neb sydd yn ceisio angau.

7 Anrhaith yr annuwiol a'u § difetha hwynt, am iddynt wrthod gwneuthur barn.

8 Trofâus a dïeithr *yw* ffordd dyn: ond y pur *sydd* uniawn ei waith.

9 [f] Gwell *yw* bod mewn congl yn nen tŷ, nâ bod gyd â gwraig anynad mewn tŷ || ehang.

10 [g] Enaid yr annuwiol a ddeisyf ddrwg: nid grasol *yw* ei gymmydog yn ei olwg ef.

11 [h] Pan gosper gwatwarwr, y bydd yr ehud callach: a phan ddysger y doeth, efe a dderbyn wybodaeth.

12 Call y mae y cyfiawn yn ystyried am dŷ yr annuwiol: *ond* y mae *DUW* yn difetha y rhai annuwiol am *eu* drygioni.

13 [i] Y neb a gauo ei glust rhag llef y tlawd, a lefain ei hunan, ac ni's gwrandewir ef.

14 [k] Rhodd yn y dirgel a dyr ddigofaint; a gwobr yn y fynwes, lid cryf.

15 Llawen gan y cyfiawn wneuthur barn: ond dinystr *fydd* i weithwŷr anwiredd.

16 Dyn yn myned ar gyfeiliorn oddi ar ffordd deall, a orphwys ynghynnulleidfa'r meirw.

17 Y neb a garo † ddifyrrwch, *a ddaw* i dlodi: a'r neb a garo win ac olew, ni bydd cyfoethog.

18 [l] Yr annuwiol *a roddir* yn iawn dros y cyfiawn, a'r troseddwr dros yr uniawn.

a Pen. 16. 2.
b 1 Sam. 15. 22. Psal. 50. 8. Esay 1. 11, &c. Hos. 6. 6. Mic. 6. 7, 8.
c Pen. 6. 17.
† Neu, *a lamp.*
d Pen. 10. 4. a 13. 4.
‡ *bwriadau pob,* &c.
e Pen. 10. 2. a 13. 11.
§ Heb. *llifio,* neu, *ymdeithia gyd â hwynt.*
f Adn. 19. Pen. 19. 13. a 25. 24. a 27. 15.
|| Heb. *cyfeillach.*
g Iago 4. 5.
h Pen. 19. 25.
i Mat. 18. 30, &c.
k Pen. 17. 8, 23. a 18. 16.
† Neu, *llawenydd.*
l Pen. 11. 8. Esay 43. 3.

[m] Adn. 9. 19 [m] Gwell *yw* aros † yn yr anialwch, nâ
† Heb. *yn nhir yr anialwch.* chyd â gwraig anynad ddigllon.
20 [n] Y *mae* trysor dymunol, ac olew, yn
[n] Psal. 112. 3. nhrigfa'r doeth; ond dyn ffol a'u llwngc
hwynt.
[o] Pen. 15. 9. 21 [o] Y neb a ddilyno gyfiawnder a thru-
garedd, a gaiff fywyd, cyfiawnder, ac an-
rhydedd.
[p] Preg. 9. 14, &c. 22 [p] Y doeth a ddring i ddinas y cedyrn,
ac a fwrw i lawr y cadernid y mae hi yn
hyderu arno.
[q] Pen. 12. 13. a 13. 3. a 18. 21. 23 [q] Y neb a gadwo ei enau a'i dafod, a
geidw ei enaid rhag cyfyngder.
24 Y balch *a'r* gwatwarwr uchel, *yw*
† Heb. *bawhder.* enw y gwr a wnelo beth mewn digllonedd
‡ balch.
[r] Pen. 13. 3. 25 [r] Deisyfiad y dïog a'i lladd: canys ei
[s] Psal. 122. 9. ddwylaw a wrthodant weithio.
26 Yn hŷd y dydd y mae yn fawr ei
[t] Psal. 50. 9. awydd: ond [s] y cyfiawn a rydd, ac ni
Pen. 15. 8. arbed.
Esay 66. 3. 27 [t] Aberth y rhai annuwiol *sydd* ffi-
Jer. 6. 20. Amos 5. 22. aidd: pa faint mwy, *pan* offrymmant mewn
§ Heb. *ysgelerder?* § meddwl drwg?
28 [u] Tyst celwyddog a ddifethir: ond y
gwr a wrandawo, a lefara yn wastad.
[u] Pen. 19. 5, 9. 29 Gwr annuwiol a galeda ei wyneb: ond
|| Neu, *ystyria.* yr uniawn a || gyfarwydda ei ffordd.
30 [x] Nid *oes* doethineb, na deall, na
[x] Jer. 9. 23. chyngor, yn erbyn yr ARGLWYDD.
[y] Psal. 20. 7. a 33. 17. 31 [y] Y march a ddarperir erbyn dydd y
frwydr: ond [z] ymwared *sydd* oddi wrth yr
[z] Psal. 3. 8. ARGLWYDD.

## PEN. XXII.

Gorph. 6. P. MWY dymunol *yw* [a] enw *da* nâ chyfoeth
[a] Preg. 7. 1. lawer; *a gwell yw* ffafr dda nag arian,
ac nag aur.
[b] Pen. 29. 13. 2 [b] Y tlawd a'r cyfoethog a gyd-gyfar-
fyddant: [c] yr ARGLWYDD *yw* gwneuthur-
[c] Pen. 14. 31. wr y rhai hyn oll.
[d] Pen. 14. 16. a 27. 12. 3 [d] Y call a genfydd y drwg, ac a ym-
gûdd: ond y ffyliaid a ant rhagddynt, ac a
gospir.
[e] Psal. 112. 3. 4 [e] Gwobr gostyngeiddrwydd *ac* ofn yr
ARGLWYDD, *yw* cyfoeth, ac anrhydedd, a
[f] Pen. 15. 19. bywyd.
5 [f] Drain *a* maglau *sydd* yn ffordd y cyn-
[g] 1 Ioan 5. 18. dyn: [g] y neb a gadwo ei enaid, a fydd bell
oddi wrthynt hwy.
[h] Iago 2. 6. 6 Hyfforddia blentyn ym mhen ei ffordd;
[i] Job 4. 8. Hos. 10. 13. a phan heneiddio nid ymedy â hi.
7 [h] Y cyfoethog a arglwyddiaetha ar y
† Heb. *y rhoddydd menthyg.* tlawd; a gwas *fydd* yr hwn a gaffo fenthyg
i'r gwr a roddo fenthyg.
[k] 2 Cor. 9. 6. 8 [i] Y neb a hauo anwiredd a fed
flinder; a gwïalen ei ddigofaint † ef a
‡ Heb. *daionus ei lygad.* balla.
9 [k] ‡ Yr hael ei lygad a fendithir: canys
[l] Psal. 101. 5. efe a rydd o'i fara i'r tlawd.
10 [l] Bwrw allan y gwatwarwr, a'r gynnen
[m] Psal. 101. 6. a â allan; ie'r ymryson, a'r gwarth a dder-
Pen. 16. 13. fydd.
11 [m] Y neb a garo lendid calon, § *am*
§ Neu, *ac y sydd a gras yn ei wefusau.* ras ei wefusau *a gaiff* y brenhin yn garedig
iddo.
12 Llygaid yr ARGLWYDD a gadwant
|| Neu, *fatterion.* wybodaeth; ac efe a ddinystria || eiriau y
troseddwr.
[n] Pen. 26. 13. 13 [n] Medd y dïog, Y mae llew allan;
[o] Pen. 2. 16. a 5. 3. a 7. 5. a 23. 27. fo'm lleddir ynghanol yr heolydd.
14 [o] Ffos ddofn *yw* genau gwragedd dï-
eithr: [p] y neb y byddo'r ARGLWYDD yn
[p] Preg. 7. 26. ddig wrtho, a syrth yno.
15 Ffolineb *sydd* yn rhwym ynghalon
plentyn; *ond* [q] gwïalen cerydd a'i gyr ym [q] Pen. 13. 24. a 19. 18. a 23. 13, 14. a 29. 15, 17.
mhell oddi wrtho.
16 Y neb a orthrymmo'r tlawd er ychwa-
negu ei *gyfoeth*, a'r neb a roddo i'r cyfoeth-
og, *a ddaw* i dlodi yn ddiammeu.
17 Gogwydda dy glust, a gwrando eiriau'r
doethion, a gosod dy galon ar fy ngwybod-
aeth.
18 Canys peth peraidd *yw* os cedwi hwynt
yn dy † galon; cymhwysir hwynt hefyd yn † Heb. *fol.*
dy wefusau.
19 Fel y byddo dy obaith yn yr AR-
GLWYDD, yr hyspysais i ti heddyw, ‡ ie i ‡ Neu, *gobeithia dithau.*
ti.
20 Oni 'sgrifenais i ti eiriau [r] ardderchog [r] Pen. 8. 6.
o gyngor a gwybodaeth,
21 I beri i ti adnabod sicrwydd geiriau
gwirionedd, fel y gallit atteb geiriau y gwir-
ionedd i'r neb § a anfonant attat? § Neu, *a'th anfonant.*
22 Na yspeilia mo'r tlawd, o herwydd ei
*fod* yn dlawd: ac [s] na orthrymma'r cystudd- [s] Zech. 7. 10.
iol yn y porth.
23 Canys [t] yr ARGLWYDD a ddadleu eu [t] Job 31. 21.
dadl hwynt, ac a orthrymma enaid y neb Psal. 68. 5.
a'u gorthrymmo hwynt. Pen. 23. 11.
24 Na fydd gydymmaith i'r digllon; ac
na chyd-gerdd â gwr llidiog:
25 Rhag i ti ddysgu ei lwybrau ef, a chael
magl i'th enaid.
26 [u] Na fydd *un* o'r rhai a roddant eu [u] Pen. 6. 1. a 11. 15.
dwylaw, o'r rhai a fachniant am ddyled.
27 Oni bydd gennyt i dalu, paham y
[x] cymmerai efe dy wely oddi tanat? [x] Pen. 20. 16.
28 [y] Na symmud mo'r hen derfyn, yr [y] Deut. 19. 14. a 27. 17.
hwn a osododd dy dadau. Pen. 23. 10.
29 A welaist ti wr dïesgeulus yn ei or-
chwyl? efe a saif ger bron brenhinoedd,
*ac* ni saif ger bron *rhai* isel-radd.

## PEN. XXIII.

PAN eisteddych i fwytta gyd â thywys- Gorph. 7. B.
og, ystyria yn ddyfal beth *sydd* ger dy 8. Tomas, B.
fron:
2 A gosod gyllell ar dy geg, os *byddi* ddyn
blysig.
3 Na ddeisyf ei ddanteithion ef: canys
bwyd twyllodrus *ydyw*.
4 [a] Nac ymflina i ymgyfoethogi: [b] dod [a] Pen. 28. 20.
heibio dy synwyr dy hun. 1 Tim. 6. 9, 10.
5 A beri di i'th lygaid ehedeg ar y peth
nid yw? canys *golud* yn ddïau a gymmer [b] Pen. 3. 5.
adenydd, ac a eheda ymaith megis eryr tu
a'r wybr.
6 Na fwytta fwyd y drwg ei lygad; ac na
chwennych mo'i ddanteithion ef.
7 Canys fel y meddylia yn ei galon, felly
efe a ddywed wrthyt: Bwytta ac ŷf; a'i
galon heb fod gyd â thi.
8 Y tammaid a fwytteaist a fwri i fynu,
a'th eiriau melus a golli.
9 [c] Na lefara lle y clywo'r ffol: canys efe [c] Pen. 9. 8.
a ddïystyra ddoethineb dy eiriau. Mat. 7. 6.
10 [d] Na symmud mo'r hen derfyn; ac na [d] Deut. 19. 14. a 27. 17.
ddos i feusydd yr amddifaid: Pen. 22. 28.
11 [e] Canys eu gwaredwr hwynt *sydd* [e] Job 31. 21.
nerthol; *ac* a ymddiffyn eu † cweryl hwynt
yn dy erbyn di. Pen. 22. 23.
12 Gosod dy galon ar addysg, a'th glust- † *cwyn.*
iau ar eiriau gwybodaeth.
13 [f] Na thyn gerydd oddi wrth *dy* blentyn: [f] Pen. 13. 24. a 19. 18. a 22. 15. a 29. 15, 17.
*os* curi ef â gwïalen, ni bydd efe farw.
14 Cur ef â gwïalen, a thi a achubi ei
enaid rhag uffern.
15 Fy mab, [g] os dy galon di fydd doeth, [g] Pen. 29. 3.
fy nghalon innau a lawenycha;

16 Ië, fy arennau a grychneidiant, pan draetho dy wefusau di gyfiawnder.
17 h Na wynfyded dy galon wrth bechaduriaid: ond i *aros* yn ofn yr ARGLWYDD yn hŷd y dydd.
18 k Canys yn ddïau y mae gwobr; ac ni phalla dy ddisgwyliad.
19 Erglyw, fy mab, a bydd ddoeth; a chyfarwydda dy galon yn y ffordd.
20 l Na fydd ym mysg y rhai sydd yn meddwi ar win; ym mysg y rhai glythion ar † gig.
21 Canys y meddw a'r glwth a ddaw i dlodi: a m chysgu ‡ a bair fyned mewn gwisg garpiog.
22 n Gwrando ar dy dad a'th genhedlodd: ac na ddiystyra dy fam pan heneiddio.
23 o Pryn y gwir, ac na werth; *felly* doethineb, ac addysg, a deall.
24 p Tad y cyfiawn a orfoledda yn fawr; a'r neb a genhedlo *fab* doeth, a lawenhâ o'i blegid.
25 Dy dad a'th fam a lawenycha; a'r hon a'th ymddûg a orfoledda.
26 Fy mab, moes i mi dy galon; dalied dy lygaid ar fy ffyrdd i.
27 q Canys ffos ddofn *yw* puttain: a phydew cyfyng *yw*'r ddïeithr.
28 r *Ië*, hi a gynllwyn fel § gwilliad; ac a 'chwanega bechaduriaid ym mysg dynion.
29 s I bwy y mae gwae? i bwy y mae ochain? i bwy y mae cynnen? i bwy y mae dadwrdd? ac i bwy y mae gwelïau heb achos? i bwy t y mae llygaid cochion?
30 I'r neb sydd yn aros wrth y gwin: i'r neb sydd yn myned i ymofyn am u win cymmysgedig.
31 Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch, pan ddangoso ei liw yn y cwppan, *pan* ymgynhyrfo yn iawn.
32 Yn y diwedd efe a frath fel sarph, ac a biga fel neidr.
33 Dy lygaid a edrychant ar wragedd dïeithr, a'th galon a draetha drawsedd.
34 Ti a fyddi megis un yn cysgu || ynghanol y môr, ac fel un yn cysgu ym mhen yr hwylbren.
35 Curent fi, *meddi, ac* ni chlafychais; dulient fi, *ac* ni's gwybûm: x pan ddeffrowyf, mi a af rhagof; mi a'i ceisiaf drachefn.

h Psal. 37. 1. a 73. 3. Pen. 3. 31. a 24. 1.
i Pen. 28. 14.
k Pen. 24. 15.
l Esay 5. 22. Luc 21. 34. Rhuf. 13. 13. Eph. 5. 18.
† Heb. *eu cig.*
m Pen. 19. 15.
‡ Heb. *a ddillada â charpiau.*
n Pen. 1. 8.
o Pen. 4. 5, 7.
p Pen. 10. 1. a 15. 20. Adn. 15.
q Pen. 22. 14.
r Pen. 7. 12.
§ Neu, *am ysglyfaeth.*
s Esay 5. 11, 22.
t Gen. 49. 12.
u Psal. 75. 8. Pen. 9. 2.
|| Heb. *ynghalon.*
x Edrych Deut. 29. 19. Esay 56. 12.

## PEN. XXIV.

a NA chynfigenna wrth wŷr annuwiol; ac na chwennych fod gyd â hwynt:
2 b Canys eu calon a fyfyria anrhaith, a'u gwefusau a draetha flinder.
3 Trwy ddoethineb yr adeiledir tŷ, a thrwy ddeall y sicrhêir ef:
4 A thrwy wybodaeth y llenwir y celloedd o bob golud gwerthfawr a hyfryd.
5 c Gwr doeth *sydd* nerthol; a gwr pwyllog a † 'chwanega ei nerth.
6 d Canys trwy gyngor doeth y gwnei dy ryfel: a thrwy lawer o gynghorwŷr *y bydd* diogelwch.
7 e Rhŷ uchel *yw* doethineb i ffol; ni egyr efe ei enau yn y porth.
8 Y neb a fwriada ddrygau, a elwir yn ysgeler.
9 Bwriad y ffol *sydd* bechod; a ffiaidd gan ddynion y gwatwarus.
10 *Os* llwfrhêi ‡ mewn amser cyfyngder, § bychan *yw* dy nerth.

Gorph. 7. P. S. Tomas, P.
a Psal. 37. 1, &c. a 73. 3. Pen. 3. 31. a 23. 17. Adn. 19.
b Psal. 10. 7.
c Pen. 21. 22. Preg. 9. 16.
† Heb. *gryfhâ nerth.*
d Pen. 11. 14. a 15. 22. a 20. 18. Luc 14. 31.
e Psal. 10. 5. Pen. 14. 6.
‡ Heb. *yn nydd.*
§ Heb. *cyfyng.*

11 f Gwared *y rhai* a lusgir i angau: a ymadewit â'r *neb sydd* barod i'w lladd?
12 Os dywedi, Wele, ni wyddom ni hyn: onid yw pwyswr y calonnau yn deall? a'r hwn sydd yn cadw dy enaid, oni ŵyr efe? ac oni g thâl efe i *bob* un yn ol ei weithred?
13 Fy mab, bwytta fêl; canys da *yw*: a'r dil mel; *canys* melus *yw* || i'th enau.
14 h Felly *y bydd* gwybodaeth doethineb i'th enaid: os cei di *hi*, i yn ddïau fe fydd gwobr, a'th obaith ni phalla.
15 Na chynllwyn di (O annuwiol) wrth drigfa'r cyfiawn; na anrheithia ei orphwysfa ef.
16 k Canys seithwaith y syrth y cyfiawn, ac efe a gyfyd *drachefn*: ond l yr annuwiolion a syrthiant mewn drygioni.
17 m Pan syrthio dy elyn, na lawenycha: a phan dramgwyddo, na orfoledded dy galon:
18 Rhag i'r ARGLWYDD weled, a bod hynny yn ddrwg yn ei olwg ef, ac iddo droi ei ddig oddi wrtho ef *attat ti.*
19 n Nac † ymddigia o herwydd y drwgweithredwŷr; na chynfigenna wrth yr annuwiolion:
20 Canys ni bydd gwobr i'r drygionus: o ‡ canwyll yr annuwiolion a ddiffoddir.
21 Fy mab, ofna'r ARGLWYDD a'r brenhin, *ac* nac ymyr â'r § rhai anwastad:
22 Canys yn ddisymmwth y cyfyd eu distryw hwy: a phwy a ŵyr eu dinystr hwy ill dau?
23 ¶ Dyma hefyd *bethau* doethion. p Nid da derbyn wyneb mewn barn.
24 q Y neb a ddywedo wrth yr annuwiol, Cyfiawn *wyt*; y bobl a'i melldithiant ef, cenhedloedd a'i ffieiddiant ef:
25 Ond i'r neb *a'i* ceryddo, y bydd hyfrydwch; a bendith || dda a ddigwydd iddynt.
26 *Pawb* a gusana wefusau'r neb a attebo eiriau uniawn.
27 r Darpara dy orchwyl oddi allan, a dospartha ef i ti yn y maes: ac wedi hynny adeilada dy dŷ.
28 Na fydd dyst heb achos yn erbyn dy gymmydog: ac na huda â'th wefusau.
29 s Na ddywed, Mi a wnaf iddo ef fel y gwnaeth yntau i minnau; mi a dalaf i'r gwr yn ol ei weithred.
30 Mi a euthum heibio i faes y dyn dïog, a heibio i winllan yr angall;
31 Ac wele, codasai drain ar hyd-ddo oll; danadl a guddiasai ei wyneb ef; a'i fagwyr gerrig a syrthiasai i lawr.
32 Gwelais hyn, *a* mi a † ystyriais yn ddwys; edrychais arno, *a* chymmerais addysg.
33 t Ychydig gysgu, ychydig hepian, ychydig wasgu dwylaw i gysgu:
34 Felly y daw dy dlodi *megis* ymdeithydd, a'th angen fel gwr ‡ arfog.

f Psal. 82. 4. Esay 58. 6, 7.
1 Ioan 3. 16.
g Job 34. 11. Psal. 62. 12. Jer. 32. 19. Rhuf. 2. 6. Dat. 22. 12.
|| Heb. *i daflod dy enau.*
h Psal. 19. 10. a 119. 103.
i Pen. 23. 18.
k Job 5. 19. Psal. 34. 19. a 37. 24.
l Amos 5. 2. a 8. 14.
m Job 31. 29. Psal. 35. 15. Pen. 17. 5.
n Psal. 37. 1. Pen. 23. 17. Adn. 1.
† Neu, *ymgyfeillacha â'r drwg,* &c.
o Job 18. 5, 6. a 21. 17. Pen. 13. 9. a 20. 20.
‡ Neu, *lamp.*
§ Heb. *newidwŷr.*
p Pen. 19. 15. Deut. 1. 17. a 16. 19. Pen. 18. 5. a 28. 21. Ioan 7. 24.
q Pen. 17. 15. Esay 5. 23.
|| Heb. *daioni.*
r Luc 14. 28.
s Pen. 20. 22. Mat. 5. 39. Rhuf. 12. 17, 19.
† Heb. *osodais fy nghalon.*
t Pen. 6. 9, &c.
‡ Heb. *tarian.*

## PEN. XXV.

1 *Addysg ynghylch brenhinoedd,* 8 *a gochel achosion i ymrafaelio.*

Gorph. 8. B.

DYMA hefyd ddïarhebion Salomon, y rhai a † gasglodd gwŷr Hezeciah brenhin Judah.

Cylch 700.
† *gopïodd.*

2 [a] Anrhydedd Duw *yw* dirgelu peth: ond anrhydedd brenhin *yw* chwilio peth allan.

3 Y nefoedd am uchder, y ddaear am ddyfnder, a chalon brenhinoedd, ni *ellir* eu chwilio.

4 Tyn yr ammhuredd oddi wrth yr arian, a daw i'r gôf-arian lestr.

5 [b] Tyn yr annuwiol o olwg y brenhin, a'i orseddfa ef a gadarnhëir trwy gyfiawnder.

6 [c] Nac ymogonedda ger bron y brenhin; ac na saf yn lle *gwŷr* mawr:

7 Canys gwell it' ddywedyd wrthyt, Tyred yma i fynu, nâ'th fwrw yn is ger bron pendefig yr hwn a welodd dy lygaid.

8 Na ddos allan i gynhennu ar frys: rhag *na wypech* beth a wnelych yn ei diwedd, wedi dy gywilyddio gan dy gymmydog.

9 [d] Ymresymma â'th gymmydog *ei hun:* ond na ddatguddia gyfrinach † i arall:

10 Rhag i'r neb a fyddo yn gwrando ddwyn gwarth arnat ti; ac i'th gywilydd na thro ymaith.

11 [e] Gair a ddyweder ‡ mewn amser *sydd megis* afalau aur mewn gwaith arian cerfiedig.

12 Ceryddwr doeth i'r glust a wrandawo, *sydd fel* anwyl-dlws euraid, a gwisg o aur rhagorol.

13 [f] Megis oerder eira yn amser cynhauaf, *yw* cennad ffyddlon i'r rhai a'i gyrrant: canys efe a lawenycha enaid ei feistred.

14 [g] Y neb a ymffrostio o achos gau rodd, *sydd gyffelyb* i [h] gymmylau a gwŷnt heb wlaw.

15 [i] Trwy hir-ymaros y boddlonir pendefig: a thafod esmwyth a dyr asgwrn.

16 Pan gaffech fêl, [k] bwytta a'th wasanaetho: rhag wedi dy lenwi o hono, i ti ei chwydu ef.

17 § Cadw dy droed allan o dŷ dy gymmydog: rhag iddo || flino arnat, a'th gasâu.

18 [l] Y neb a ddygo gam-dystiolaeth yn erbyn ei gymmydog, sydd megis gordd, a chleddyf, a saeth lem.

19 Hyder ar ffalswr yn nydd cyfyngder, *sydd megis* dant wedi ei dorri, a throed wedi tyrfu.

20 *Fel* yr hwn a ddygo ymaith wisg yn amser oerfel, *ac fel* finegr ar nitr, felly *y mae'r* hwn sydd yn canu caniadau i galon drist.

21 [m] Os dy elyn a newyna, portha ef â bara; ac os sycheda, dod iddo ddïod i'w hyfed:

22 Canys marwor a bentyrri ar ei ben ef; a'r ARGLWYDD a dâl i ti.

23 [n] Gwŷnt y gogledd † a yrr y gwlaw ymaith: felly *y gyrr* ‡ wynebpryd digllon dafod athrodgar.

24 [o] Gwell *yw* trigo mewn congl yn nen tŷ, nâ chyd â gwraig anynad mewn tŷ ehang.

25 *Fel* dyfroedd oerion i enaid sychedig, *yw* newyddion da o wlad bell.

26 Gwr cyfiawn wedi syrthio i lawr ger bron y drygionus, *sydd megis* ffynnon wedi ei chymmysgu â gofer budr.

27 [p] Nid da bwytta llawer o fêl: *ac* felly chwilio eu hanrhydedd, *nid* anrhydedd *yw.*

28 [q] Y neb ni byddo ganddo attal ar ei yspryd ei hun, *sydd megis* dinas ddrylliog heb gaer.

[a] Deut. 29. 29. Rhuf. 11. 33.
[b] Pen. 20. 8.
[c] Luc 14. 8, 9, 10.
[d] Mat. 5. 25. a 18. 15.
† Neu, *un arall.*
[e] Pen. 15. 23.
‡ Neu, *yn ei le.* Heb. *ar ei olwynion.*
[f] Pen. 13. 17.
[g] Pen. 20. 6.
[h] Judas 12.
[i] Gen. 32. 4, &c. 1 Sam. 25. 24, &c. Pen. 15. 1. a 16. 14.
[k] Adn. 27.
§ Neu, *Bid anfynych dy droed yn nhŷ dy, &c.*
|| Heb. *gael digon.*
[l] Psal. 120. 14. Pen. 12. 18.
[m] Exod. 23. 4. Mat. 5. 44. Rhuf. 12. 20.
[n] Job 37. 22.
† Heb. *a esgor ar y gwlaw.*
‡ Neu, *tafod athrodgar wyneb dig.*
[o] Pen. 19. 13. a 21. 9, 19.
[p] Adn. 16.
[q] Pen. 16. 32.

## PEN. XXVI.

1 *Addysg ynghylch ynfydion,* 13 *a rhai segurllyd;* 17 *ac ynghylch dynion cynhennus, trafferthus.*

MEGIS ôd yr haf, neu [a] wlaw y cynhauaf, felly nid cymmwys i'r ffol anrhydedd.

2 Fel yr aderyn wrth grwydro, a'r wennol wrth ehedeg, felly y felldith ddïachos ni ddaw.

3 Ffrewyll i farch, [b] ffrwyn i asyn, a [c] gwïalen i gefn yr ynfyd.

4 Na atteb ynfyd yn ol ei ynfydrwydd; rhag dy fod yn gyffelyb iddo.

5 Atteb yr ynfyd yn ol ei ynfydrwydd; rhag iddo fod yn ddoeth yn ei olwg ei hun.

6 Y neb a yrro negesau gyd ag un angall, a dyr ymaith y traed, *ac a yf* † golled.

7 Nid gogyhyd esgeiriau'r cloff: felly dammeg yngenau ffyliaid.

8 Fel un ‡ yn rhwymo carreg mewn tafl; felly *y gwna'r* neb a anrhydeddo ffol.

9 *Fel* draen yn myned i law dyn meddw; felly *y mae* dïareb yngenau'r angall.

10 § Y *Duw* mawr yr hwn a luniodd bob *peth,* sydd yn gobrwyo'r ffol, ac yn talu i'r troseddwŷr.

11 [d] Megis y mae'r ci yn dychwelyd at ei chwydfa; *felly* y mae'r ffol yn || dychwelyd at ei ffolineb.

12 [e] A weli di wr doeth yn ei olwg ei hun? gwell *yw'r* gobaith am ffol nag am hwnnw.

13 [f] *Y mae* llew *mawr* ar y ffordd, medd y dïog, *y mae* llew yn yr heolydd.

14 *Fel* y drws yn troi ar ei golyn, felly *y trŷ'r* dïog yn ei wely.

15 [g] Y dïog a guddia ei law yn *ei* fynwes; blin ganddo ei hestyn at ei enau drachefn.

16 Doethach *yw'r* dïog yn ei olwg ei hun, nâ seithwŷr yn adrodd rheswm.

17 Y neb wrth fyned heibio a † ymyrro â chynnen ni *pherthyn* iddo, *sydd megis* un yn cymmeryd ci erbyn ei glustiau.

18 Fel *dyn* gwallgofus a daflo ‡ bentewynion tân, saethau, ac *arfau* marwolaeth;

19 Felly *y mae'r* gwr a dwyllo ei gymmydog, ac a ddywed, Onid cellwair yr ydwyf?

20 Megis § pan ddarfyddo'r coed, y diffydd y tân: felly [h] pryd na *byddo* athrodwr, || derfydd y gynnen.

21 [i] *Fel* glo i'r marwor, a choed i'r tân; felly *y mae* gwr cynhennus i ennyn cynnen.

22 [k] Geiriau'r athrodwr *sydd* megis archollion, a hwy a ddisgynant i gelloedd y bol.

23 *Fel* sorod arian wedi eu bwrw dros ddryll o lestr pridd; *felly y mae* gwefusau poeth, a chalon ddrwg.

24 Y digasog a † ragrithia â'i wefusan, ac yn ei galon yn bwriadu twyll.

25 Pan ‡ ddywedo efe yn dêg, na ymddiried iddo: canys *y mae* saith ffieidd-dra yn ei galon ef.

26 § Trwy gyfrwysder y cuddir digasedd: ond ei ddrygioni a ddatguddir yn y gynnulleidfa.

27 [l] Y neb a gloddio bydew, a syrth ynddo; a'r neb a dreiglo garreg, atto y dychwel.

28 Y tafod celwyddog a gasâ'r neb a gystuddio efe; a'r genau gwenhieithus a wna ddinystr.

Gorph. 8. P.
Cylch 700.
[a] 1 Sam. 12. 10.
[b] Psal. 32. 9.
[c] Pen. 10. 13.
† Neu, *draws.*
‡ Neu, *yn gosod maen gwerthfawr mewn carnedd gerrig.*
§ Neu, *Gwr mawr a gythruddia bawb, ac sydd yn cyflogi'r ffol, &c.*
[d] 2 Petr 2. 22.
|| Heb. *adwneuthur.*
[e] Pen. 29. 20.
[f] Pen. 22. 13.
[g] Pen. 19. 24.
† Neu *ymddigio mewn cynnen ni, &c.*
‡ Heb. *urddasion.*
§ Heb. *heb goed.*
[h] Pen. 22. 10.
|| Heb. *gostega.*
[i] Pen. 15. 18. a 29. 22.
[k] Pen. 18. 8.
† Neu, *adnabyddir.*
‡ Heb. *ymlo ei lefaryad yn hawddgar.*
§ Neu, *Yn y dirgel.*
[l] Psal. 7. 15, 16. a 9. 15. a 10. 2. a 57. 6. Pen. 28. 10. Preg. 10. 8.

## PEN. XXVII.

1 *Ynghylch serch arnom ein hunain.* 5 *Am wir gariad.* 11 *Gofalu am ochel rhwystrau:* 23 *a gofalu dros dŷ a thylwyth.*

a NAC ymffrostia o'r dydd y foru: canys
ni wyddost beth a ddigwydd *mewn*
diwrnod.
2 Canmoled arall dydi, ac nid dy enau
dy hun; estron, ac nid dy wefusau dy hu-
nan.
3 Trom *yw*'r garreg, a phwysfawr *yw*'r
tywod: ond digofaint y ffol *sydd* drymmach
nâ hwy ill dau.
4 Creulon *yw* llid, fel llif-ddwfr *yw* dig-
ofaint; a phwy a ddichon sefyll o flaen
† cynfigen?
5 Gwell *yw* cerydd cyhoedd nâ chariad
cuddiedig.
6 b Ffyddlon *yw* archollion y caredig:
ond cusanau y digasog *ydynt* ‡ dwyllodrus.
7 § Y dyn llawn a sathra'r dil mel: ond
c i'r newynog pob peth chwerw sydd felus.
8 Gwr yn ymdaith o'i le ei hun, sydd
debyg i aderyn yn cilio o'i nyth.
9 Olew ac arogl-darth a lawenycha'r
galon; felly *y gwna* mwynder cyfaill trwy
gyngor || ffyddlon.
10 Nac ymado â'th gydymmaith dy hun,
a chydymmaith dy dad; ac na ddos i dŷ
dy frawd yn amser dy orthrymder: *canys*
d gwell *yw* cymmydog yn agos nâ brawd ym
mhell.
11 e Bydd ddoeth, fy mab, a llawenycha
fy nghalon; f fel y gallwyf atteb i'r neb a'm
gwaradwyddo.
12 g Y call a wêl y drwg *yn dyfod, ac* a
ymgûdd: *ond* yr anghall a ânt rhagddynt,
*ac* a gospir.
13 h Cymmer wisg yr hwn a fachnïo dros
y dïeithr; a chymmer wystl ganddo dros y
y ddïeithr.
14 Y neb a fendithio ei gydymmaith â
llef uchel y bore pan gyfodo, cyfrifir *hyn* yn
felldith iddo.
15 i Defni parhâus ar ddiwrnod gwlawog,
a gwraig anynad, cyffelyb ydynt.
16 Y mae yr hwn a'i cuddio hi, *megis* yn
cuddio'r gwynt, ac olew ei ddeheulaw, *yr
hwn* a ymddengys.
17 Haiarn a hoga'r haiarn: felly gwr a
hoga wyneb ei gyfaill.
18 k Y neb a gadwo ei ffigysbren, a fwytty
o'i ffrwyth ef; a'r neb a wasanaetho ei feistr,
a ddaw i anrhydedd.
19 Megis mewn dwfr *y mae* wyneb *yn
atteb* i wyneb: felly *y mae* calon dyn i
ddyn.
20 l Ni lenwir uffern na distryw: felly
m ni lenwir llygaid dyn.
21 n *Fel* y tawddlestr i'r arian, a'r ffwrnes
i'r aur: felly *y mae* gwr i'w glod.
22 Er i ti bwyo ffol mewn morter â phestl
ym mhlith gwenith; *etto* nid ymedy ei
ffolineb ag ef.
23 Edrych yn ddyfal ar dy anifeiliaid, *a*
† gofala am dy braidd.
24 Canys ‡ cyfoeth ni *phery* byth: ac *a
bery* y goron o genhedlaeth i genhedlaeth?
25 Y gwair a flaendardda, a'r glaswellt a
ymddengys, a llysiau'r mynyddoedd a gesglir.
26 Yr ŵyn a'th ddillada, ac o'r geifr y *cei*
werth tir.
27 Hefyd *ti a gei* ddigon o laeth geifr yn
fwyd i ti, yn fwyd i'th dylwyth, ac *yn*
§ gynhaliaeth i'th langcesau.

Gorph. 9. B.
Cylch 700.
a Iago 4. 13, &c.
† Neu, *eiddigedd.* Pen. 6. 34.
b Psal. 141. 5.
‡ Neu, *diwyr*, neu, *aml.*
§ Heb. *Yr enaid.*
c Job 6. 7.
|| Heb. *o'r enaid.*
d Pen. 17. 17. a 18. 24. Edrych Pen. 19. 7.
e Pen. 10. 1. a 23. 24.
f Psal. 127. 5.
g Pen. 22. 3.
h Pen. 20. 16. Edrych Exod. 22. 26.
i Pen. 19. 13.
k 1 Cor. 9. 7.
l Pen. 13. 16. Hab. 2. 5.
m Preg. 1. 8. a 6. 7.
n Pen. 17. 3.
† Heb. *gosod dy galon ar dy braidd.*
‡ Heb. *nerth.*
§ Heb. *fywyd.*

## PEN. XXVIII.

*Athrawiaethau cyffredinol ynghylch annuwioldeb, a duwiol burdeb.*

YR a annuwiol a ffŷ heb neb yn ei erlid:
ond y rhai cyfiawn sydd hŷ megis
llew.
2 O herwydd camwedd gwlad, aml *fydd*
ei phennaethiaid: ond † lle y byddo gwr
pwyllog synhwyrol, y ‡ pery hi yn hir.
3 Gwr tlawd yn gorthrymmu tlodion,
*sydd debyg i* lif-ddwfr § yr hwn ni ad
luniaeth.
4 b Y rhai a ymadawant â'r gyfraith, a
ganmolant yr annuwiol: ond y neb a gad-
want y gyfraith, a ymladd â hwynt.
5 Dynion annuwiol ni ddeallant farn:
ond c y neb a geisiant yr ARGLWYDD, a
ddeallant bob *peth.*
6 d Gwell *yw* y tlawd a rodio yn ei uni-
awndeb, nâ'r traws ei ffyrdd, er ei *fod* yn
gyfoethog.
7 e Y neb a gadwo'r gyfraith, *sydd* fab
deallus: ond y neb || fyddo cydymmaith i
loddestwŷr, a gywilyddia ei dad.
8 f Y neb a 'chwanego ei gyfoeth trwy
usuriaeth ac ocraeth, sydd yn casglu i'r neb
a fydd trugarog wrth y tlawd.
9 g Y neb a dry ei glust *ymaith* rhag
gwrando'r gyfraith, *fydd* ffiaidd ei weddi
hefyd.
10 h Y neb a ddeno'r cyfiawn i ffordd
ddrwg, a syrth yn ei bydew ei hun: ond y
cyfiawn a feddianna ddaioni.
11 Gwr cyfoethog *sydd* ddoeth yn ei olwg
ei hun: ond y tlawd deallus a'i chwilia ef
allan.
12 i Pan fyddo llawen y cyfiawn, *y mae*
anrhydedd mawr: ond pan ddyrchafer yr
annuwiolion, y chwilir am ddyn.
13 k Y neb a guddio ei bechodau, ni
lwydda: ond y neb a'u haddefo, ac a'u
gadawo, a gaiff drugaredd.
14 Gwyn ei fyd y dyn l a ofno yn was-
tadol: ond m y neb a galedo ei galon, a
ddigwydda i ddrwg.
15 *Fel* y llew rhuadus, a'r arth wangcus,
*yw* llywydd annuwiol i bobl dlodion.
16 Pennadur heb ddeall *sydd* yn fawr ei
drawsedd: *ond* y neb a gasao gybydd-dra, a
estyn *ei* ddyddiau.
17 n Dyn a wnelo drawsedd i waed neb,
a ffŷ i'r pwll; nac attalied neb ef.
18 o Y neb a rodio yn uniawn, a waredir:
ond p y *neb a fyddo* traws ei ffyrdd, a syrth
ar unwaith.
19 q Y neb a lafurio ei dir, a ddigonir o
fara: ond y neb a ganlyno ofer-*wŷr*, a gaiff
ddigon o dlodi.
20 Gwr ffyddlon a fydd aml ei fendith-
ion: ond r y neb a brysuro i fod yn gyf-
oethog, ni bydd digerydd.
21 s Nid da derbyn wyneb: canys t y
cyfryw wr am dammaid o fara a wna gam.
22 † Gwr drwg ei lygaid a brysura i
ymgyfoethogi: ond bychan y gŵyr efe y
daw tlodi arno.
23 u Y neb a geryddo ddyn, a gaiff yn y
diwedd fwy o ffafr nâ'r neb a draetho
weniaith â'i dafod.
24 Y neb a yspeilio ei dad neu ei fam, ac
a ddywed, Nid *yw* hyn gamwedd, x *sydd*
gymmar i ddinystriwr.
25 y Gwr uchel ei feddwl a ennyn gyn-
nen: ond y neb a ymddiriedo yn yr AR-
GLWYDD, a wneir yn fras.

Gorph. 9. P. S. Steph. B.
Cylch 700.
a Lef. 26. 17, 36. Psal. 53. 5.
† Neu, *trwy wŷr pwyllog, &c.*
‡ Neu, *parhânt hwy.*
§ Heb. *a heb luniaeth.*
b Psal. 10. 3. a 49. 18. Rhuf. 1. 32.
c 1 Cor. 2. 15. 1 Ioan 2. 20, 27.
d Pen. 19. 1. Adn. 18.
e Pen. 29. 3.
|| Neu, *a bortho loddest-wŷr.*
f Job 27. 16, 17. Pen. 13. 22. Preg. 2. 26.
g Psal. 66. 18. a 109. 7. Pen. 15. 8.
h Pen. 26. 27.
i Adn. 28. Pen. 11. 10. a 29. 2. Preg. 10. 6.
k Psal. 32. 3, 5. 1 Ioan 1. 9, 10.
l Pen. 23. 17. Esay 66. 2, 5.
m Rhuf. 11. 20.
n Gen. 9. 6. Exod. 21. 14.
o Pen. 10. 9.
p Adn. 6.
q Pen. 12. 11.
r Pen. 13. 11. a 20. 21. a 23. 4. Adn. 22. 1 Tim. 6. 9.
s Pen. 18. 5 a 24. 23.
t Ezec. 13. 19.
† Adn. 20.
u Pen. 27. 6.
x Pen. 18. 9.
y Pen. 13. 10.

26 Y neb a ymddiriedo yn ei galon ei hun, sydd ffol: ond y neb a rodio yn bwyllog, a achubir.

27 [z] Y neb a roddo i'r tlawd, ni bydd angen arno: ond y neb a guddio ei lygaid, a gaiff lawer o felldithion.

28 [a] Pan ddyrchafer yr annuwiol, [b] dynion a ymguddia: ond wedi darfod am danynt, yr amlhêir y cyfiawn.

[z] Deut. 15. 7, &c. Pen. 19. 17. a 22. 9. [a] Adn. 12. Pen. 29. 2. [b] Job 24. 4.

## PEN. XXIX.

1 *Addysg ynghylch llywodraeth gyffredinol,* 15 *a neillduol.* 22 *Ynghylch llid, balchder, lladrad, llyfrder, ac anwreidd-dra, a llygredigaeth swyddogion.*

Gorph. 10. 13.

Cylch 700.

GWR † a gerydder yn fynych ac a galeda ei war, a ddryllir yn ddisymmwth, fel na byddo meddyginiaeth.

2 [a] Pan amlhâer y cyfiawn, y bobl a lawenychant: ond pan fyddo'r annuwiol yn llywodraethu, y bobl a ocheneidia.

3 [b] Gwr a garo ddoethineb a lawenycha ei dad: ond [c] y neb a fyddo gyfaill i buteiniaid, a ddifa ei ddâ.

4 Brenhin trwy farn a gadarnhâ y wlad: ond ‡ y neb a garo anrhegion, a'i dinystria hi.

5 Y gwr a ddywedo weniaith wrth ei gymmydog, sydd yn taenu rhwyd i'w draed ef.

6 Ynghamwedd dyn drwg *y mae* magl: ond y cyfiawn a gân ac a fydd lawen.

7 [d] Y cyfiawn a ystyria fatter y tlodion: *ond* yr annuwiol ni ofala am *ei* wybod.

8 [e] Dynion gwatwarus a § faglant ddinas: ond y doethion a droant ymaith ddigofaint.

9 *Os* gwr doeth a ymryson â dyn ffol, pa un bynnag a wnel ai digio ai chwerthin, etto ni *bydd* llonyddwch.

10 Gwŷr gwaedlyd a gasânt yr uniawn: ond yr uniawn a gais ei enaid ef.

11 [f] Y ffol a dywallt ei holl feddwl: ond *gwr* doeth a'i hattal hyd yn ol.

12 Os llywydd a wrendy ar gelwydd, ei holl weision *fyddant* annuwiol.

13 [g] Y tlawd a'r ‖ twyllodrus a gydgyfarfyddant; a'r ARGLWYDD a lewyrcha eu llygaid hwy ill dau.

14 [h] Y brenhin a farno'r tlodion yn ffyddlon, ei orsedd a sicrheir byth.

15 [i] Y wialen a cherydd a rydd ddoethineb: ond [k] mab a gaffo *ei* rwysg *ei hun,* a gywilyddia ei fam.

16 Pan amlhao'r rhai annuwiol, yr amlhâ camwedd: ond [l] y rhai cyfiawn a welant eu cwymp hwy.

17 [m] Cerydda dy fab, ac efe a bair i ti lonyddwch; ac a bair hyfrydwch i'th enaid.

18 [n] Lle ni *byddo* gweledigaeth, † methu a wna'r bobl: ond [o] y neb a gadwo'r gyfraith, gwyn ei fyd ef.

19 Ni chymmer gwas addysg ar eiriau: canys er ei fod yn deall, etto nid ettyb.

20 A weli di ddyn prysur yn ei ‡ eiriau? [p] gwell *yw'r* gobaith am y ffol nag am dano ef.

21 Y neb a ddygo ei was i fynu yn foethus o'i febyd, o'r diwedd efe a fydd *fel* mab *iddo.*

22 [q] Gwr digllon a ennyn gynnen; a'r llidiog sydd aml ei gamwedd.

23 [r] Balchder dyn a'i gostwng ef: ond y gostyngedig o ysbryd a gynnal anrhydedd.

24 Y neb a fo cyfrannog â lleidr, a gasâ ei enaid ei hun: efe a wrendy ar felldith, ac ni's mynega.

† Heb. *ceryddon.* [a] Pen. 11. 10, a 28. 12, 28. Preg. 10. 5. [b] Pen. 10. 1. a 15. 20. a 27. 11. [c] Pen. 5. 9, 10. a 6. 26. a 28. 7. Luc 15. 13. ‡ Heb. *gwr anrhegion.* [d] Job 29. 16. [e] Pen. 11. 11. § Heb. *losgant.* [f] Pen. 12. 16. a 14. 33. [g] Pen. 22. 2. ‖ Neu, *ocrwr.* [h] Pen. 20. 28. a 25. 5. [i] Adn. 17. [k] Pen. 10. 1. a 17. 21, 25. Psal. 37. 36. a 58. 10. a 91. 8. [m] Pen. 13. 24. a 19. 18. a 22. 15. a 23. 13, 14. [n] 1 Sam. 3. 1. Amos 8. 11, 12. † Neu, *y noethir y bobl.* [o] Ioan 13. 17. Iago 1. 25. ‡ Neu, *fatterion?* [p] Pen. 26. 12. [q] Pen. 15. 18. a 26. 21. [r] Job 22. 29. Pen. 15. 33. a 18. 12. Esay 66. 2. Mat. 23. 12. Luc 14. 11. a 18. 14. Iago 4. 6, 10. 1 Petr 5. 5.

25 Ofn dyn sydd yn dwyn magl: ond y neb a ymddiriedo yn yr ARGLWYDD a ddyrchefir.

26 [s] Llawer a ymgeisiant ag wyneb y llywydd: ond oddi wrth yr ARGLWYDD *y mae* barn pob dyn.

27 Ffiaidd gan y cyfiawn wr anghyfiawn: a ffiaidd gan yr annuwiol wr uniawn ei ffordd.

[s] Pen. 19. 6. Pen. 20. 9. ‡ Heb. *Arglwydd.*

## PEN. XXX.

1 *Cyffes Agur o'i ffydd.* 7 *Dau bwngc ei weddi ef.* 10 *Na ddylid gwneuthur cam â'r rhai gwaelaf.* 11 *Pedair cenhedlaeth ddrygionus.* 15 *Pedwar peth ni ellir eu digoni.* 17 *Na ddylid diystyru tad a mam.* 18 *Pedwar peth anhawdd eu gwybod.* 21 *Pedwar peth ni ellir eu dioddef.* 24 *Pedwar peth doeth dros ben.* 29 *Pedwar peth mawrfrydig.* 32 *Rhaid yw achub blaen digofaint.*

Cylch 700.

GEIRIAU Agur mab Jaceh, *sef* [a] y brophwydoliaeth: y gwr a lefarodd wrth Ithiel, wrth Ithiel, *meddaf,* ac Ucal.

2 Yn wir *yr ydwyf* yn ffolach nâ neb, ac nid oes deall dyn gennyf.

3 Ni ddysgais ddoethineb, ac † nid oes gennyf wybodaeth y sanctaidd.

4 [b] Pwy a esgynodd i'r nefoedd, neu a ddisgynodd? [c] pwy a gasglodd y gwynt yn ei ddyrnau? pwy a rwymodd y dyfroedd mewn dilledyn? pwy a gadarnhaodd holl derfynau'r ddaear? beth *yw* ei enw ef, a pheth *yw* enw ei fab, os gwyddost?

5 [d] Holl air Duw *sydd* ‡ bur: [e] tarian *yw* efe i'r neb a ymddiriedant ynddo.

6 [f] Na ddyro ddim at ei eiriau ef, rhag iddo dy geryddu, a'th gael yn gelwyddog.

7 Dau *beth* yr ydwyf yn eu gofyn gennyt, § na omedd *hwynt* i mi cyn fy marw.

8 Tyn ym mhell oddi wrthyf wagedd a chelwydd; na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth; [g] portha fi â'm ‖ digonedd o fara:

9 [h] Rhag i mi ymlenwi, a'*th* wadu *di,* a dywedyd, Pwy *yw'r* ARGLWYDD? a rhag i mi fyned yn dlawd, a lladrata, a chymmeryd enw fy Nuw *yn ofer.*

10 † Nac achwyn ar was wrth ei feistr, rhag iddo dy felldithio, a'th gael yn euog.

11 *Y mae* cenhedlaeth a felldithia ei thad, a'i mam ni fendithia.

12 *Y mae* cenhedlaeth lân yn ei golwg ei hun, er na's glanhawyd oddi wrth ei haflendid.

13 *Y mae* cenhedlaeth, O mor uchel yw ei llygaid! a'i hamrantau a ddyrchafwyd.

14 [k] *Y mae* cenhedlaeth, a'i dannedd yn gleddyfau, a'i childdannedd yn gyllyll, [l] i ddifa'r tlodion oddi ar y ddaear, a'r anghenus o *blith* dynion.

15 I'r ‡ gele y mae dwy ferch, *yn llefain,* Moes, moes. Tri *pheth* ni ddiwellir; ie, pedwar *peth* ni ddywedant byth, § Digon:

16 [m] Y bedd; y groth ammhlantadwy; y ddaear ni ddiwellir â dyfroedd; a'r tân ni ddywed, Digon.

17 Llygad yr hwn a watwaro *ei* dad, ac a ddiystyro ufuddhau *ei* fam, a dynn cigfrain ‖ y dyffryn, a'r cywion eryrod a'i bwytty.

18 Tri *pheth* sydd guddiedig i mi; ie, pedwar peth nid adwaen:

[a] Pen. 31. 1. † Heb. *ni's gwn wybodaeth.* [b] Ioan 3. 13. [c] Job 38. 4, &c. Psal. 104. 3, &c. Esay 40. 12, &c. [d] Psal. 12. 6. a 18. 30. a 19. 8. a 119. 140. ‡ Heb. *buredig.* [e] Psal. 84. 11. a 115. 9, 10, 11. [f] Deut. 4. 2. a 12. 32. Dat. 22. 18, 19. § Heb. *nac attal hwynt oddi wrthyf.* [g] Mat. 6. 11. ‖ Heb. *dogn.* [h] Deut. 8. 12. a 32. 15. Hos. 13. 6. † Heb. *Na niweidia â'th dafod.* [i] Pen. 6. 17. [k] Job 29. 17. Psal. 52. 2. a 57. 4. Pen. 12. 18. [l] Psal. 14. 4. Amos 8. 4. ‡ Neu, *gel ben-di-l'.* § Heb. *Diwedd.* [m] Pen. 27. 20. Hab. 2. 5. ‖ Neu, *yr afon.*

19 Ffordd eryr yn yr awyr, ffordd neidr
† Heb. *ynghalon.* ar graig, ffordd llong † ynghanol y môr, a
ffordd gŵr gyd â morwyn.
20 Felly *y mae* ffordd merch odinebus; hi
a fwytty, ac a sych ei safn, ac a ddywed, Ni
wneuthum i anwiredd.
21 O herwydd tri *pheth* y cynhyrfir y
ddaear, ac o herwydd pedwar, *y rhai* ni
ddichon hi eu dïoddef:
n Pen. 19. 10. 22 n O herwydd gwas pan deyrnaso; ac
Preg. 10. 7. un ffol pan lanwer ef o fwyd;
23 O herwydd *gwraig* atgas pan brioder
‡ *etifeddes.* hi; a llaw-forwyn a elo yn ‡ aeres i'w
meistres.
24 Y mae pedwar *peth* bychain ar y
§ Heb. *wedi ei gwneuthur yn ddoeth.* ddaear, ac etto *y maent* yn ddoeth § iawn:
25 o Nid *yw*'r morgrug bobl nerthol, etto
y maent yn darparu eu lluniaeth yr haf;
o Pen. 6. 6, &c. 26 p Y cwningod nid *ydynt* bobl rymmus,
etto hwy a wnant eu tai yn y graig;
p Psal. 104. 18. 27 Y locustiaid nid oes brenhin iddynt,
etto hwy a ant allan || yn dorfeydd;
|| Heb. *yn gyssylltiedig.* 28 Y pryf coppyn a ymafacla â'i ddwy-
law, ac y mae yn llys y brenhin.
29 Y mae tri *pheth* a gerddant yn hardd,
ie, pedwar *peth* a rodiant yn weddus:
30 Llew cryf ym mhlith anifeiliaid, ni
thry yn ol er neb;
† Neu, *March.* Heb. *Gwregysedig ei lwynau.* 31 † Milgi *cryf yn ei feingefn,* a bwch, a
brenhin, *yr hwn* ni chyfyd neb yn ei erbyn.
32 Os buost ffol yn ymddyrchafu, ac
os meddyliaist ddrwg, q *dyro* dy law ar dy
enau.
q Job 25. 5. a 40. 4. Michah 7. 16. 33 Yn ddïau corddi llaeth a ddwg allan
ymenyn, a gwasgu ffroenau a dynn allan
waed: felly cymmell llid a ddwg allan
gynnen.

PEN. XXXI.

Gorph. 10. P. 1 *Addysg Lemuel ynghylch diweirdeb a chymhedrolder.* 6 *Bod yn rhaid cysuro ac ymddiffyn y cystuddiedig.* 10 *Clod a chynheddfau gwraig dda.*

Cylch 1015. GEIRIAU Lemuel frenhin; a y brophwyd-
oliaeth a ddysgodd ei fam iddo.
a Pen. 30. 1. 2 Pa *beth* fy mab? pa beth mab fy
b Pen. 5. 9. nghroth? ie, pa beth mab fy addunedau?
c Deut. 17. 17. 3 b Na ddyro i wragedd dy nerth; na'th
ffyrdd c i'r hyn a ddifetha frenhinoedd.
d Preg. 10. 17. 4 d Nid *gweddaidd* i frenhinoedd, O Le-
muel, nid *gweddaidd* i frenhinoedd yfed
gwin; nac i bennaduriaid ddïod gadarn:
† Heb. *holl feibion cystudd.* 5 Rhag iddynt yfed, ac ebargofi 'r ddeddf;
a newidio barn † yr un o'r rhai gorthrym-
e Psal. 104. 15. edig.
6 e Rhoddwch ddïod gadarn i'r neb sydd
‡ Heb. *chwerw eu henaid.* ar ddarfod am dano; a gwin i'r rhai ‡ trwm
eu calon.

7 Yfed efe, fel yr anghofio ei dlodi; ac
na's meddylio am ei flinfyd mwy.
8 f Agor dy enau dros y mud, yn achos f Edrych Job 29. 15.
holl blant dinystr.
9 Agor dy enau, g barn yn gyfiawn; a g Lef. 19. 15.
dadleu dros y tlawd a'r anghenus. Deut. 1. 16.
10 ¶ h Pwy a fedr gael gwraig rinweddol? h Pen. 12. 4. a 18. 22. a 19. 14.
gwerthfawrocach *yw* hi na'r carbwncl.
11 Calon ei gŵr a ymddiried ynddi, fel na
bydd arno eisiau anrhaith.
12 Hi a wna iddo les, ac nid drwg, holl
ddyddiau ei bywyd.
13 Hi a gais wlan a llin, ac a'i gweithia
â'i dwylaw yn ewyllysgar.
14 Tebyg yw hi i long marsiandwr; hi a
ddwg ei hymborth o bell.
15 Hi a gyfyd hefyd liw nôs, ac a
rydd fwyd i'w thylwyth, a'u dogn i'w
llangcesau.
16 Hi a feddwl am faes, ac a'i § pryn § Heb. *cymmer.*
ef; â gwaith ei dwylaw hi a blanna
winllan.
17 Hi a wregysa ei llwynau â nerth, ac a
gryfhâ ei breichiau.
18 Hi a || wêl *fod* ei marsiandïaeth yn || Heb. *archwaetha.*
fuddiol; ni ddiffydd ei chanwyll ar hŷd y
nos.
19 Hi a rydd ei llaw ar y werthyd, a'i
llaw a ddeil y cogail.
20 Hi a † egyr ei llaw i'r tlawd, ac a estyn † Heb. *leda.*
ei dwylaw i'r anghenus.
21 Nid ofna hi am ei thylwyth rhag yr
eira; canys ei holl dŷ hi a ddilledir ‡ ag ‡ Neu, *â dillad dau-ddyblyg.*
ysgarlad.
22 Hi a weithia iddi ei hun garpedau; ei
gwisg *yw* sidan a phorphor.
23 Hynod yw ei gŵr hi yn y pyrth, pan
eisteddo gyd â henuriaid y wlad.
24 Hi a wna lïain main, ac a'i gwerth, ac
a rydd wregysau at y marsiandwr.
25 Nerth ac anrhydedd *yw* ei gwisg; ac
yn yr amser a ddaw hi a chwardd.
26 Hi a egyr ei genau yn ddoeth; a chyf-
raith trugaredd *sydd* ar ei thafod hi.
27 Hi a graffa ar ffyrdd tylwyth ei thŷ:
ac ni fwytty hi fara seguryd.
28 Ei phlant a godant, ac a'i galwant
yn ddedwydd; ei gwr *hefyd*, ac a'i canmol
hi:
29 Llawer merch a § weithiodd yn rym- § Neu, *gasglant olud.*
mus; ond ti a ragoraist arnynt oll.
30 Siommedig *yw* ffafr, ac ofer *yw* tegwch;
*ond* benyw yn ofni'r ARGLWYDD, hi a gaiff
glod.
31 Rhoddwch iddi o ffrwyth ei dwylaw;
a chanmoled ei gweithredoedd hi yn y
pyrth.

# ¶ LLYFR ECCLESIASTES, neu'r PREGETHWR.

PEN. I.

Gorph. 11. 6. 1 *Y Pregethwr yn dangos oferedd gorchwylion dyn:* 4 *o herwydd bod y creaduriaid yn ddiorphwys yn eu cylchoedd;* 9 *nad ydynt yn dwyn dim newydd, a bod yr hen bethau wedi eu hebargofi;* 12 *ac o herwydd mai felly y cafodd efe wrth chwilio doethineb.*

Cyn Crist cylch 977. GEIRIAU'r a Pregethwr, mab Dafydd,
frenhin yn Jerusalem.
a Adn. 12. Pen. 7. 27. a 12. 8, 9, 10. 2 b Gwagedd o wagedd, medd y Pre-
gethwr, gwagedd o wagedd; c gwagedd
*yw*'r cwbl.

b Psal. 39. 5, 6. a 62. 9. a 144. 4. Pen. 12. 8. c Rhuf. 8. 20.

3 d Pa fudd sydd i ddyn o'i holl lafur a d Pen. 2. 22. a 3. 9.
gymmer efe dan yr haul?
4 *Un* genhedlaeth a â ymaith, a chen-
hedlaeth *arall* a ddaw: e ond y ddaear a saif e Psal. 104. 5. a 119. 90.
byth.
5 Yr haul hefyd a gyfyd, a'r haul a fach-
lud, ac a † brysura i'w le lle y mae yn codi. † Heb. *ddyhea.*
6 Y gwŷnt a â i'r dehau, ac a amgylcha
i'r gogledd: y mae yn myned oddi am-
gylch yn wastadol, y mae'r gwŷnt yn dy-
chwelyd yn ei gwmpasoedd. f Job 38. 10.
7 f Yr holl afonydd a redant i'r môr, etto Psal. 104. 8. 9.
nid *yw*'r môr yn llawn: o'r lle y daeth yr
afonydd, yno y dychwelant ‡ eilwaith. ‡ Heb. *a fyned.*

8 Pob peth *sydd* yn llawn blinder; ni ddichon dyn ei draethu: ni chaiff y llygad ddigon o edrych, ac ni ddigonir y glust â chlywed.

[g] Pen. 3. 15.
9 [g] Y peth a fu, a fydd; a'r peth a wnaed, a wneir: ac nid *oes* dim newydd dan yr haul.

10 A oes dim y gellir dywedyd am dano, Edrych ar hwn, dyma beth newydd? efe fu eisoes yn yr hen amser o'n blaen ni.

11 Nid *oes* goffa am y pethau gynt; ac ni bydd coffa am y pethau a ddaw, gan *y rhai* a ddaw ar ol.

[h] Adn. 1.
12 ¶ [h] Myfi y Pregethwr oeddwn frenhin ar Israel yn Jerusalem:

† Heb. *nghalon.* [i] Gen. 3. 19. ‡ Neu, *ymgystuddio.*
13 Ac a roddais fy † mryd ar geisio a chwilio trwy ddoethineb, am bob *peth* a wnaed dan y nefoedd: [i] y llafur blin yma a roddes Duw ar feibion dynion i ‡ ymguro ynddo.

14 Mi a welais yr holl weithredoedd a wnaed dan haul; ac wele, gwagedd a gorthrymder yspryd *yw*'r cwbl.

[k] Pen. 7. 13.
15 [k] Ni ellir uniawni'r hyn sydd gam, na chyfrif yr hyn sydd ddiffygiol.

[l] 1 Bren. 3. 12, 13. a 4. 30. a 10. 7, 23. Pen. 2. 9. § Heb. *welodd.*
16 Mi a ymddiddenais â'm calon fy hun, gan ddywedyd, Wele, [l] mi a aethum yn fawr, ac a gesglais ddoethineb tu hwnt i bawb a fu o'm blaen i yn Jerusalem; a'm calon a § ddeallodd lawer o ddoethineb a gwybodaeth.

[m] Pen. 2. 12. a 7. 23, 25.
17 [m] Mi a roddais fy nghalon hefyd i wybod doethineb, ac i wybod ynfydrwydd a ffolineb: mi a wybûm fod hyn hefyd yn orthrymder yspryd.

[n] Pen. 12. 12.
18 Canys [n] mewn llawer o ddoethineb *y mae* llawer o ddig: a'r neb a 'chwanego wybodaeth, a 'chwanega ofid.

## PEN. II.

Gorph. 11. P.
1 *Ofered gwaith dyn yn ei ddifyrrwch.* 12 *Er bod y doeth yn well nâ'r ynfyd, etto yr un diwedd sydd i bob un o'r ddau.* 18 *Ofered llafur dyn, gan fod yn rhaid iddo adael y cwbl, ni ŵyr i bwy.* 24 *Nad oes dim well nâ chymmeryd llawenydd o'n llafur; etto rhodd Duw yw hynny.*

Cylch 977.
MI a ddywedais yn fy nghalon, Iddo yn awr, mi a'th brofaf â llawenydd; am hynny cymmer dy fyd yn ddifyr: ac wele, hyn hefyd *sydd* wagedd.

2 Mi a ddywedais am chwerthin, Ynfyd *yw*: ac am lawenydd, Pa beth a wna?

[a] Pen. 1. 17. † Heb. *dynnu fy nghnawd â gwin.* ‡ Heb. *rifedi dyddiau eu heinioes.*
3 [a] Mi a geisiais yn fy nghalon † ymroddi i win (etto yn arwain fy nghalon mewn doethineb) ac i gofleidio ffolineb, hyd oni welwn beth *oedd* y da hwnnw i feibion dynion, yr hyn a wnant hwy dan y nefoedd ‡ holl ddyddiau eu bywyd.

4 Mi a wneuthum i mi waith mawr; mi a adeiledais i mi dai; mi a blennais im' winllannoedd:

5 Mi a wneuthum erddi a pherllannau, ac a blennais ynddynt breniau o bob ffrwyth:

6 Mi a wneuthum lynnau dwfr, i ddyfrhau â hwynt y llwyni sy'n dwyn coed:

§ Heb. *feibion tŷ.*
7 Mi a ddarperais weision a morwynion; hefyd yr oedd i mi § gaeth-weision tŷ; ïe, yr oeddwn i yn berchen llawer o wartheg a defaid, tu hwnt i bawb a fuasai o'm blaen i yn Jerusalem:

[b] 1 Bren. 9. 28. a 10. 10, 14, 21, &c.
8 [b] Mi a bentyrrais i mi hefyd arian ac aur, a thrysor pennaf brenhinoedd a thalaethiau: mi a ddarperais i mi gantorion a chantoresau, a phob rhyw offer cerdd, difyrrwch meibion dynion.

[c] Pen. 1. 16.
9 A [c] mi a aethum yn fawr, ac a gynnyddais yn fwy nâ neb a fuasai o'm blaen i yn Jerusalem: a'm doethineb oedd yn sefyll gyd â mi.

[d] Pen. 3. 22. a 5. 18. a 9. 9.
10 A pha beth bynnag a ddeisyfiai fy llygaid, ni ommeddwn hwynt: ni attaliwn fy nghalon oddi wrth ddim hyfryd; canys fy nghalon a lawenychai yn fy holl lafur: a [d] hyn oedd fy rhan i o'm holl lafur.

[e] Pen. 1. 3, 14.
11 Yna mi a edrychais ar fy holl weithredoedd a wnaethai fy nwylaw, ac ar y llafur a lafuriais yn ei wneuthur: ac wele, hyn oll *oedd* [e] wagedd a gorthrymder yspryd, ac nid *oedd* dim budd dan yr haul.

[f] Pen. 1. 17. a 7. 25. ‖ Neu, *yn y pethau, &c.*
12 A mi a droais i edrych ar ddoethineb, ac ar [f] ynfydrwydd a ffolineb (canys beth *a wnai*'r dyn a ddeuai ar ol y brenhin? ‖ y peth a wnaed eisoes.)

† Heb. *fod rhagoriaeth yn noethineb mwy nag mewn ynfydrwydd.*
13 Yna mi a welais † fod doethineb yn rhagori ar ffolineb, fel y mae goleuni yn rhagori ar dywyllwch.

[g] Diar. 17. 24. Pen. 8. 1. [h] Psal. 49. 10. Pen. 9. 2, 3.
14 [g] Y doeth *sydd* â'i lygaid yn ei ben; ond y ffol a rodia yn y tywyllwch: ac etto mi a welais [h] yr un damwain yn digwydd iddynt oll.

15 Yna y dywedais yn fy nghalon, Fel y digwydd i'r ffol, y digwydd i minnau; pa beth gan hynny a dâl i mi fod yn ddoeth *mwyach*? Yna y dywedais yn fy nghalon, *fod* hyn hefyd yn wagedd.

16 Canys ni *bydd* coffa am y doeth mwy nag am yr annoeth yn dragywydd; y pethau *sydd* yr awr hon, yn y dyddiau a ddaw a ollyngir oll dros gof: a pha fodd y mae'r doeth yn marw? fel yr annoeth.

17 Am hynny cas gennyf einioes; canys blin gennyf y gorchwyl a wneir dan haul; canys gwagedd a gorthrymder yspryd *yw*'r cwbl.

‡ Heb. *lafurio.* [i] Psal. 49. 10.
18 ¶ Ië, cas gennyf fy holl lafur yr ydwyf fi yn ei ‡ gymmeryd dan haul; am fod [i] yn rhaid i mi ei adael i'r neb a fydd ar fy ol i.

19 A phwy a ŵyr ai doeth ai annoeth fydd efe? etto efe a fydd feistr ar fy holl lafur yr hwn a gymmerais, ac yn yr hwn y bûm ddoeth dan haul. Dyma wagedd hefyd.

20 Am hynny mi a droais i beri i'm calon anobeithio o'r holl lafur a gymmerais dan yr haul.

§ Heb. *roddi.*
21 Canys y mae dyn yr hwn y *mae* ei lafur yn bwyllog, yn synhwyrol, ac yn uniawn: ac y mae yn ei § adael yn rhan i'r neb ni lafuriodd wrtho. Hyn hefyd *sydd* wagedd, a gorthrymder mawr.

[k] Pen. 1. 3. a 3. 9.
22 [k] Canys beth sydd i ddyn o'i holl lafur a gorthrymder ei galon, yr hwn a gymmerodd efe dan haul?

[l] Job 14. 1.
23 Canys ei holl ddyddiau *sy* [l] orthrymder, a'i lafur yn ofid: ïe, ni chymmer ei galon esmwythdra'r nos. Hyn hefyd *sydd* wagedd.

[m] Pen. 3. 12, 13, 22. a 5. 18. a 8. 15.
24 ¶ [m] Nid *oes* daioni mwy i ddyn, *nag* iddo fwytta ac yfed, a pheri i'w enaid gael daioni o'i lafur. Hyn hefyd a welais, mai o law Duw *yr oedd* hyn.

25 Canys pwy a ddichon fwytta, a phwy a'i mwynhâi o'm blaen i?

‖ Heb. *ger ei fron ef.* [n] Job 27. 16, 17. Diar. 28. 8.
26 Canys i'r dyn a fyddo da ‖ yn ei olwg ef, y rhydd DUW ddoethineb, a gwybodaeth, a llawenydd; ond i'r pechadur y rhydd efe boen i gasglu ac i dyrru, [n] i'w roddi i'r *neb a fyddo* da ger bron Duw. Hynny hefyd *sydd* wagedd, a gorthrymder yspryd.

## PEN. III.

Gorph. 12. B.

1 *Bod anghenrhaid gyfnewid yr amseroedd, yn ychwanegu gwagedd at lafur dyn.* 11 *Godidowgrwydd gweithredoedd Duw:* 16 *ond dyn, Duw a farn ei weithredoedd ef yn y byd a ddaw; ac yma ni bydd ond cyffelyb i anifail.*

Cylch 977.

Y *Mae* [a] amser i bob *peth*, ac amser i bob amcan dan y nefoedd:

2 Amser i † eni, ac amser i farw; amser i blannu, ac amser i dynnu'*r peth* a blannwyd;

3 Amser i ladd, ac amser i iachâu; amser i fwrw i lawr, ac amser i adeiladu;

4 Amser i wylo, ac amser i chwerthin; amser i alaru, ac amser i ddawnsio;

5 Amser i daflu cerrig ymaith, ac amser i gasglu cerrig ynghŷd; amser i ymgofleidio, ac [b] amser i ‡ ochel ymgofleidio;

6 Amser i geisio, ac amser i golli; amser i gadw, ac amser i fwrw ymaith;

7 Amser i rwygo, ac amser i wnïo; amser i dewi, ac amser i ddywedyd;

8 Amser i garu, ac amser i gasâu; amser i ryfel, ac amser i heddwch.

9 [c] Pa fudd sydd i'r gweithydd yn yr hyn y mae'n llafurio?

10 Mi a welais y blinder a roddes Duw ar feibion dynion, i ymflino ynddo.

11 Efe a wnaeth bob *peth* yn dêg yn ei amser: efe a osododd y byd hefyd yn eu calonnau hwy, fel [d] na allo dyn gael allan y gwaith a wnaeth Duw o'r dechreuad hyd y diwedd.

12 [e] Mi a wn nad *oes* dim da ynddynt, ond bod i *ddyn* fod yn llawen, a gwneuthur daioni yn ei fywyd.

13 A [f] bod i bob dyn fwytta ac yfed, a mwynhâu daioni o'i holl lafur; rhodd Duw yw hynny.

14 Mi a wn beth bynnag a wnel Duw, y bydd hynny byth; ni ellir na bwrw atto, na thynnu dim oddi wrtho: ac y mae Duw yn gwneuthur *hyn*, fel yr ofnai *dynion* ger ei fron ef.

15 [g] Y peth a fu o'r blaen sydd yr awron; a'r peth sydd ar ddyfod a fu o'r blaen: Duw ei hun a ofyn y peth a § aeth heibio.

16 ¶ Hefyd [h] mi a welais dan yr haul le barn, yno'*r oedd* annuwioldeb; a lle cyfiawnder, yno'*r oedd* anwiredd.

17 Mi a ddywedais yn fy nghalon, Duw a farn y cyfiawn a'r anghyfiawn: canys *y mae* [i] amser i bob amcan, ac i bob gwaith yno.

18 Mi a ddywedais yn fy nghalon am gyflwr meibion dynion; ‖ fel y byddai i Dduw eu hamlygu hwynt, ac y gwelent hwythau mai anifeiliaid ydynt.

19 [k] Canys digwydd meibion dynion a ddigwydd i'r anifeiliaid: yr un digwydd sydd iddynt: fel y mae'r naill yn marw, felly y bydd marw'r llall; ïe, yr un chwythad sydd iddynt oll; fel nad oes mwy rhagoriaeth i ddyn nag i anifail: canys gwagedd *yw*'r cwbl.

20 Y mae'r cwbl yn myned i'r un lle: [l] pob un sydd o'r pridd, a phob un a dry i'r pridd eilwaith.

21 [m] Pwy a edwyn yspryd † dyn yr hwn sydd yn esgyn i fynu, a chwythad anifail yr hwn sydd yn disgyn i wared i'r ddaear?

22 [n] Am hynny mi a welaf nad *oes* dim well nag i ddyn ymlawenychu yn ei weithredoedd ei hun; canys hyn *yw* ei ran ef: canys pwy a'i dwg ef i weled y peth fydd ar ei ol?

[a] Adn. 17. Pen. 8. 6. † Heb. *esgor.* [b] Joel 2. 16. 1 Cor. 7. 5. ‡ Heb. *bellhâu oddi wrth.* [c] Pen. 1. 3. [d] Pen. 8. 17. [e] Adn. 22. [f] Pen. 2. 24. [g] Pen. 1. 9. § Heb. *yrrwyd ymaith.* [h] Pen. 5. 8. [i] Adn. 1. ‖ *fel y gwnaent Dduw yn bur, ac y gwelent mai, &c.* [k] Psal. 49. 12, 20. Pen. 2. 16. [l] Gen. 3. 19. [m] Pen. 12. 7. † Heb. *meibion dyn.* [n] Adn. 12. Pen. 2. 24. a 5. 18. a 11. 9.

## PEN. IV.

Gorph. 12. P. S. Stephan, P.

1 *Bod trais,* 4 *a chynfigen,* 5 *a seguryd,* 7 *a chybydd-dod,* 9 *a neillduolrwydd,* 13 *a gwrthnysigrwydd, yn ychwanegu ar wagedd dyn.*

Cylch 977

FELLY mi a ddychwelais, ac a edrychais ar yr holl [a] orthrymderau sydd dan yr haul: ac wele ddagrau y *rhai* gorthrymedig heb neb i'w cysuro; ac ar law eu treiswŷr *yr oedd* gallu, a hwythau heb neb i'w cysuro.

2 [b] A mi a ganmolais y meirw y rhai sydd yn barod wedi marw, yn fwy nâ'r byw y rhai sydd yn fyw etto.

3 [c] Gwell nâ'r ddau yw'r neb ni bu erioed, yr hwn ni welodd y gwaith blin sydd dan haul.

4 ¶ A mi a welais fod pob llafur, a phob uniondeb gwaith dyn, † yn peri iddo gynfigen gan ei gymmydog. Hyn hefyd *sydd* wagedd a gorthrymder yspryd.

5 [d] Y ffol a wasg ei ddwylaw ynghŷd, ac a fwytty ei gnawd ei hun.

6 [e] Gwell *yw* llonaid llaw *trwy* lonyddwch, nâ llonaid dwy law *trwy* flinder a gorthrymder yspryd.

7 ¶ Yna mi a droais, ac a welais wagedd dan yr haul.

8 Y mae un *yn unig*, ac heb ail: ïe, nid *oes* iddo na mab na brawd; ac etto nid *oes* diwedd ar ei lafur oll: ïe, ni chaiff ei lygaid ddigon o gyfoeth; [f] *ni ddywed efe,* I bwy yr ydwyf yn llafurio, ac yn difuddio fy enaid oddi wrth hyfrydwch? Hyn hefyd *sydd* wagedd, a dyma drafferth flin.

9 ¶ Gwell *yw* dau nag un, o achos bod iddynt wobr da am eu llafur.

10 Canys os syrthiant, y naill a gyfyd y llall: ond gwae yr unig; canys pan syrthio efe, nid *oes* ail i'w gyfodi.

11 Hefyd os dau a gyd-orweddant, hwy a ymgynhesânt; ond yr unig, pa fodd y cynhesa efe?

12 Ac os cryfach fydd un nag ef, dau a'i gwrthwynebant yntau; a rhaff deircaingc ni thorrir ar frys.

13 ¶ Gwell *yw* bachgen tlawd a doeth, nâ brenhin hen ac ynfyd, yr hwn ni fedr gymmeryd rhybudd mwyach:

14 Canys *y naill* sydd yn dyfod allan o'r carchardy i deyrnasu, a'r llall wedi ei eni yn ei frenhiniaeth *yn myned* yn dlawd.

15 Mi a welais y rhai byw oll y rhai sydd yn rhodio dan yr haul, gyd â'r ail mab yr hwn a saif yn ei le ef.

16 Nid *oes* diben ar yr holl bobl, *sef* ar y rhai oll a fu o'u blaen hwynt, a'r rhai a ddêl ar ol, ni lawenychant ynddo: gwagedd yn ddïau a blinder yspryd *yw* hyn hefyd.

[a] Pen. 5. 8, &c. [b] Job 3. 17, &c. Pen. 6. 3. [c] Job 3. 11, 16, 21. † Heb. *mai hyn yw cynfigen dyn gan ei gymmydog.* [d] Diar. 6. 10. a 24. 33. [e] Diar. 15. 16, 17. a 16. 8. [f] Psal. 39. 6.

## PEN. V.

Gorph. 12. B. S. Ioan, B.

1 *Gwagedd yngwasanaeth Duw,* 8 *mewn grwgnach yn erbyn trais,* 9 *ac mewn cyfoeth.* 18 *Rhodd Duw yw cael llawenydd o'n cyfoeth.*

Cylch 977.

GWYLIA ar dy droed [a] pan fyddech yn myned i dŷ Dduw, a bydd barottach i wrando [b] nag i roi aberth ffyliaid; canys ni wyddant hwy eu bod yn gwneuthur drwg.

2 Na fydd *rŷ* brysur â'th enau, ac na frysied dy galon i draethu † dim ger bron Duw: canys Duw *sydd* yn y nefoedd, a

[a] Edrych Esay 1. 12, &c. [b] 1 Sam. 15. 22. Psal. 50. 8. Diar. 15. 8. a 21. 27. Hos. 6. 6. † Neu, *gair.*

thithau *sydd* ar y ddaear; ac am hynny
c Diar. 10. 19. Mat. 6. 7. [c] bydded dy eiriau yn anaml.
3 Canys breuddwyd a ddaw o drallod
d Diar. 10. 19. lawer: ac [d] ymadrodd y ffol o laweroedd o
eiriau.
e Num. 30. 2. 4 [e] Pan addunedech adduned i DDUW,
Deut. 23. 21, 22. nac oeda ei thalu: canys nid *oes ganddo* flas
ar rai ynfyd; [f] y peth a addunedaist, tâl.
Psal. 50. 14. a 76. 11. 5 [g] Gwell i ti fod heb addunedu, nag i ti
addunedu, a bod heb dalu.
f Psal. 66. 13, 14. 6 Na ad i'th enau beri i'th gnawd bechu;
g Act. 5. 4. ac na ddywed ger bron yr angel, Amryfus-
edd *fu*: pa ham y digiai DUW wrth dy
leferydd, a difetha gwaith dy ddwylaw?
7 Canys mewn llaweroedd o freuddwyd-
ion *y mae* gwagedd, ac mewn llawer o eiriau:
ond ofna di DDUW.
8 ¶ Os gweli dreisio'r tlawd, a thraws-
wyro barn a chyfiawnder mewn gwlad; na
† Heb. *wrth yr ewyllys,* neu, *yr amcan.* ryfedda † o achos hyn: canys [h] y mae *hwn*
*sydd* uwch nâ'r uchaf yn gwylied, ac *y mae*
un sydd uwch nâ hwynt.
9 ¶ Cynnyrch y ddaear hefyd sydd i
h Psal. 58. 11. a 82. 1. bob peth: wrth dir llafur y mae'r brenhin
yn byw.
10 Y neb a garo arian, ni ddigonir ag
arian; na'r neb a hoffo amldra, â chyn-
nyrch. Hyn hefyd *sydd* wagedd.
11 Lle y byddo llawer o ddâ, y bydd
llawer i'w ddifa: pa fudd gan hynny *sydd*
i'w perchennog, ond eu gweled â'u llygaid?
12 Melus *yw* hûn y gweithiwr, pa un
bynnag ai ychydig ai llawer a fwyttao: ond
llawnder y cyfoethog ni ad iddo gysgu.
13 Y mae trueni blin a welais dan yr
haul, cyfoeth wedi eu cadw yn niweid i'w
perchennog.
14 Ond derfydd am y cyfoeth hynny trwy
i Job 1. 21. drallod blin; ac efe a ynnill fab, ac nid *oes*
Psal. 49. 17. dim yn ei law ef.
1 Tim. 6. 7. 15 [i] Megis y daeth allan o groth ei fam
k Pen. 1. 3. yn noeth, y dychwel i fyned modd y daeth,
l Psal. 127. 2. ac ni ddwg ddim o'i lafur, yr hyn a ddygo
ymaith yn ei law.
m Pen. 2. 24. a 3. 12, 13, 22. a 9. 7. a 11. 9. 16 A hyn hefyd *sydd* ofid blin; yn hollol
y modd y daeth, felly yr â efe ymaith: a
1 Tim. 6. 17. [k] pha fudd *sydd* iddo ef a lafuriodd am y
gwynt?
‡ Heb. *y mae peth da yr hwn sydd deg.* 17 Ei holl ddyddiau [l] y bwytty efe mewn
tywyllwch, mewn digter mawr, gofid, a
llid.
18 ¶ Wele'r *peth* a welais i: [m] ‡ da
§ Heb. *rifedi dyddiau.* *yw* a theg *i ddyn* fwytta ac yfed, a chym-
meryd byd da o'i holl lafur a lafuria dan yr
haul, § holl ddyddiau ei fywyd, y rhai a
n Pen. 2. 10. a 3. 22. roddes DUW iddo: [n] canys hynny *yw* ei
ran ef.
o Pen. 2. 24. a 3. 13. a 6. 2. 19 [o] Ië, i bwy bynnag y rhoddes DUW
gyfoeth a golud; ac y rhoddes iddo ryddid
‖ Neu, *Er na rydd lawer, etto efe a gofia ddyddiau,* &c. i fwytta o honynt, ac i gymmeryd ei ran, ac
i lawenychu yn ei lafur; rhodd DUW *yw*
hyn.
20 ‖ Canys ni fawr-gofia efe ddyddiau ei
fywyd; am fod DUW yn atteb i lawenydd
ei galon ef.

PEN. VI.

Gorph. 13. P. S. Ioan, P. 1 *Ofered yw cyfoeth heb eu harfer. 3 Am blant. 6 a henaint heb gyfoeth. 9 Ofered golwg a deisyfiadau anwastad. 11 Diwedd-glwm ar hob gwagedd.*

Cylch 977.

Y Mae drwg a welais dan haul, a hwnnw
† aml. yn † fawr ym mysg dynion:
2 Gwr y rhoddodd DUW iddo gyfoeth,
a Job 21. 10. a golud, ac anrhydedd, [a] heb arno eisiau
Psal. 17. 14. dim i'w enaid a'r a ddymunai; a DUW heb
a 73. 7. roi gallu iddo i fwytta o hono, ond estron
a'i bwytty. Dyma wagedd, ac *y mae* yn
ofid blin.
3 ¶ Os ynnill gwr gant *o blant,* ac a fydd
byw lawer o flynyddoedd, fel y bo dydd-
iau ei flynyddoedd yn llawer, os ei enaid ni
ddiwellir â daioni, ac [b] oni bydd iddo glad- b Esay 14. 19, 20.
dedigaeth; mi a ddywedaf, [c] *mai* gwell *yw* Jer. 22. 19.
erthyl nag ef. c Job 3. 16.
4 Canys mewn oferedd y daeth, ac yn y Psal. 58. 8.
tywyllwch yr ymedy, a'i enw a guddir a
thywyllwch.
5 Yntau ni welodd mo'r haul, ac ni wybu
*ddim*: mwy o lonyddwch sydd i hwn nag
i'r llall.
6 ¶ Pe byddai efe fyw ddwyfil o flynydd-
oedd, etto ni welodd efe ddaioni: onid i'r
un lle yr â pawb?
7 [d] Holl lafur dyn *sydd* dros ei enau, ac d Diar. 16. 26.
etto ni ddiwellir ei enaid ef.
8 Canys pa ragoriaeth sydd i'r doeth mwy
nag i'r annoeth? beth sydd i'r tlawd a fedr
rodio ger bron y rhai byw?
9 ¶ Gwell *yw* golwg y llygaid nag ym-
daith yr enaid. Hyn hefyd *sydd* wagedd a
gorthrymder yspryd.
10 Beth bynnag fu, y mae enw arno; ac e Job 9. 32.
y mae yn hyspys mai dyn *yw* efe: ac [e] ni Esay 45. 9.
ddichon efe ymryson â'r neb sydd drech nag Jer. 49. 19.
ef. † Heb. *rifedi dyddiau bywyd ei oferedd.*
11 ¶ Gan fod llawer o bethau yn amlhâu
gwagedd, beth *yw* dyn well?
12 Canys pwy a ŵyr beth *sydd* dda i
ddyn yn y bywyd *hwn* † holl ddyddiau ei f Psal. 102. 11. a 109. 23. a 144. 4.
fywyd ofer, y rhai a dreulia efe fel [f] cysg- Iago 4. 14.
od? canys [g] pwy a ddengys i ddyn beth a g Pen. 8. 7.
ddigwydd ar ei ol ef dan yr haul?

PEN. VII.

1 *Help yn erbyn gwagedd, yw enw da, 2 marwolaethu'r cnawd, 7 amynedd, 11 doethineb. 23 Anhawsed ydyw cael doethineb.* Gorph. 14. P.

[a] GWELL *yw* enw *da* nag ennaint gwerth- Cylch 977.
fawr; a dydd marwolaeth nâ dydd
genedigaeth. a Diar. 15. 30. a 22. 1.
2 ¶ Gwell *yw* myned i dŷ galar, nâ my-
ned i dŷ gwledd: canys hynny *yw* diwedd
pob dyn; a'r byw a'*i* gesyd at ei galon.
3 Gwell *yw* † digter nâ chwerthin: canys † Neu, *tristwch.*
trwy dristwch yr wynebpryd y gwellhêir y
galon.
4 Calon doethion *fydd* yn nhŷ galar. ond
calon ffyliaid yn nhŷ llawenydd.
5 [b] Gwell *yw* gwrando sen y doeth, nâ b Diar. 13. 18. a 15. 31, 32.
gwrando cân ffyliaid.
6 Canys [c] chwerthiniad dyn ynfyd *sydd* Edrych
fel clindarddach drain dan grochan. Dyma Psal. 141. 5.
wagedd hefyd. c Psal. 118. 12.
7 ¶ Yn ddïau trawsedd a ynfyda'r doeth,
a [d] rhodd a ddifetha'r galon. d Exod. 23. 8.
8 Gwell *yw* diweddiad peth nâ'i ddе- Deut. 16. 19.
chreuad: [e] gwell *yw* y dioddefgar o yspryd
nâ'r balch o yspryd. e Diar. 14. 29.
9 [f] Na fydd gyflym yn dy yspryd i ddigio:
oblegid dig sydd yn gorphwys ym mynwes f Diar. 14. 17. a 16. 32.
ffyliaid.
10 Na ddywed, Pa ham y bu'r dyddiau
o'r blaen yn well nâ'r dyddiau hyn? canys
nid o ddoethineb yr wyt yn ymofyn am y
peth hyn.
11 ¶ ‡ Da *yw* doethineb gyd ag etifedd- ‡ Neu, *Cystal yw doethineb ac etifeddiaeth: ie, gwell i'r rhai sydd,* &c.
iaeth: ac *o hynny y mae* elw i'r rhai sydd yn
gweled yr haul.
12 Canys cysgod *yw* doethineb, *a* chysgod
*yw* arian: ond rhagoriaeth gwybodaeth *yw,*
bod doethineb yn rhoddi bywyd i'w pher-
chennog.

13 Edrych ar orchwyl Duw: canys [g] pwy a all unioni'r peth a gammodd efe?

14 Yn amser gwynfyd bydd lawen; ond yn amser adfyd ystyria: Duw hefyd a wnaeth y naill ar gyfer y llall, er mwyn na chai dyn ddim ar ei ol ef.

15 Hyn oll a welais yn nyddiau fy ngwagedd: [h] y mae *un* cyfiawn yn diflannu yn ei gyfiawnder, ac y mae *un* annuwiol yn estyn *ei ddyddiau* yn ei ddrygioni.

16 Na fydd rŷ gyfiawn; ac na chymmer arnat fod yn rhŷ ddoeth: pa ham y'th ddifethit dy hun?

17 Na fydd rŷ annuwiol; ac na fydd ffol: pa ham y byddit [i] farw † cyn dy amser?

18 Da i ti ymafael yn hyn; ac oddi wrth hyn na ollwng dy law: canys y neb a ofno Dduw, a ddaw allan o honynt oll.

19 [k] Doethineb a nertha'r doeth, yn fwy nâ deg o gedyrn a fyddant yn y ddinas.

20 [l] Canys nid *oes* dyn cyfiawn ar y ddaear a wna ddaioni, ac ni phecha.

21 Na ‡ osod dy galon ar bob gair a ddyweder; rhag it' glywed dy was yn dy felldithio.

22 Canys llawer gwaith hefyd y gŵyr dy galon, ddarfod i ti dy hun felldithio eraill.

23 ¶ Hyn oll a brofais trwy ddoethineb: mi a ddywedais, Mi a fyddaf ddoeth; a hithau ym mhell oddi wrthyf.

24 [m] Y peth sydd bell a dwfn iawn, pwy a'i caiff?

25 [n] Mi a droais â'm calon i wybod, ac i chwilio, ac i geisio doethineb, a rheswm; ac i adnabod annuwioldeb ffolineb, sef ffolineb, *ac* ynfydrwydd:

26 [o] Ac mi a gefais beth chwerwach nag angau, y wraig y mae ei chalon yn faglau ac yn rhwydau, *a'i* dwylaw yn rhwymau: y neb sydd dda § gan Dduw, a waredir oddi wrthi hi; ond pechadur a ddelir ganddi.

27 Wele, hyn a gefais (medd [p] y Pregethwr) *wrth chwilio* o'r naill *beth* i'r llall, i gael y ‖ rheswm;

28 Yr hwn beth etto y chwilia fy enaid am dano, ac ni chefais: un gwr a gefais ym mhlith mil; ond un wraig yn eu plith hwy oll ni's cefais.

29 Wele hyn yn unig a gefais; [q] wneuthur o Dduw ddyn yn uniawn: ond hwy a chwiliasant allan lawer o ddychymmygion.

g Pen. 1. 15. Edrych Job 12. 14.
h Pen. 8. 14.
i Job 15. 32. Psal. 55. 23. Diar. 10. 27.
† Heb. *nid yn dy amser?*
k Diar. 21. 22. a 24. 5. Pen. 9. 16, 18.
l 1 Bren. 8. 46. 2 Chron. 6. 36. Diar. 20. 9. 1 Ioan 1. 8.
‡ Heb. *ddod.*
m Job 28. 12, 20.
n Pen. 1. 17. a 2. 12.
o Diar. 5. 3, 4. a 22. 14.
§ Heb. *ger bron.*
p Pen. 1. 1, 2.
‖ *cyfrif.*
q Gen. 1. 27.

## PEN. VIII.

Gorph. 14. P.

1 *Am ufuddhâu brenhinoedd.* 6 *Rhaid yw dal ar ragluniaeth Duw.* 12 *Gwell yw'r byd ar y duwiol mewn adfyd, nag ar yr annuwiol mewn hawddfyd.* 16 *Mor anchwiliadwy yw gweithredoedd Duw.*

Cylch 977.

PWY *sydd* debyg i'r doeth? a phwy a fedr ddeongl peth? [a] doethineb gwr a lewyrcha ei wyneb, a nerth ei wyneb ef a newidir.

2 *Yr ydwyf yn dy rybuddio* i gadw gorchymyn y brenhin, a [b] *hynny* o herwydd llw Duw.

3 [c] Na ddos ar frys allan o'i olwg ef; na saf mewn peth drwg: canys efe a wna a fynno ei hun.

4 Lle *y byddo* gair y brenhin, *y mae* gallu: a phwy a ddywed wrtho, Beth yr wyt ti yn ei wneuthur?

5 Y neb a gadwo'r gorchymyn, ni wybydd oddi wrth ddrwg; a chalon y doeth a edwyn amser a barn.

6 ¶ Canys [d] y mae amser a barn i bob amcan; ac *y mae* trueni dyn yn fawr arno.

7 Canys [e] ni ŵyr efe beth a fydd: canys pwy a ddengys iddo pa † bryd y bydd?

8 Nid *oes* un dyn yn arglwyddiaethu [f] ar yr yspryd, i attal yr yspryd; ac nid *oes ganddo* allu yn nydd marwolaeth: ac nid *oes* bwrw arfau yn y rhyfel *hwnnw*; ac nid achub annuwioldeb ei pherchennog.

9 Hyn oll a welais i, a gosodais fy nghalon ar bob gorchwyl a wneir dan haul: *y mae* amser pan arglwyddiaetha dyn ar ddyn er drwg iddo.

10 Ac felly mi a welais gladdu'r rhai annuwiol, y rhai a ddaethent ac a aethent o le'r Sanctaidd; a hwy a ebargofiwyd yn y ddinas lle y gwnaethent felly. Gwagedd *yw* hyn hefyd.

11 [g] O herwydd na wneir barn *yn erbyn* gweithred ddrwg yn fuan, am hynny calon plant dynion sydd yn llawn ynddynt i wneuthur drwg.

12 ¶ Er gwneuthur o bechadur ddrwg ganwaith, ac estyn ei *ddyddiau* ef; etto mi a wn yn ddiau [h] y bydd daioni i'r rhai a ofnant Dduw, y rhai a arswydant ger ei fron ef.

13 Ond ni bydd daioni i'r annuwiol, ac ni estyn efe ei ddyddiau, *y rhai sydd* gyffelyb i gysgod; am nad yw yn ofni ger bron Duw.

14 Y mae gwagedd a wneir ar y ddaear; bod y cyfiawn [i] yn damwain iddynt yn ol gwaith y drygionus; a bod y drygionus yn digwyddo iddynt yn ol gwaith y cyfiawn. Mi a ddywedais *fod* hyn hefyd yn wagedd.

15 Yna mi a ganmolais lawenydd, am [k] nad oes dim well i ddyn dan haul, nâ bwytta ac yfed, a bod yn llawen: canys hynny a lŷn wrth ddyn o'i lafur, ddyddiau ei fywyd, y rhai a roddes Duw iddo dan yr haul.

16 ¶ Pan osodais i fy nghalon i wybod doethineb, ac i edrych ar y drafferth a wneir ar y ddaear (canys *y mae* ni wêl hûn â'i lygaid na dydd na nos)

17 Yna mi a edrychais ar holl waith Duw, [l] na ddichon dyn ddeall y gwaith a wneir dan haul: oblegid er i ddyn lafurio i geisio, etto ni's caiff; ïe, pe meddyliai'r doeth fynnu gwybod, etto ni allai efe gael *hynny*.

a Diar. 4. 8, 9. a 17. 24. Edrych Act. 6. 15.
b Rhuf. 13. 5.
c Pen. 10. 4.
d Pen. 3. 1.
e Diar. 24. 22. Pen. 6. 12. a 9. 12. a 10. 14.
† Neu, *fodd.*
f Job 14. 5.
g Psal. 50. 21. Esay 26. 10.
h Psal. 37. 11, 18, 19. Diar. 1. 32, 33. Esay 3. 10, 11.
i Psal. 73. 14. Pen. 7. 15.
k Pen. 2. 24. a 3. 12, 22. a 5. 18. a 9. 7.
l Job 5. 9. Pen. 3. 11. Rhuf. 11. 33.

## PEN. IX.

Gorph. 15. B.

1 *Yr un fath bethau a ddigwydd i'r drwg ac i'r da.* 4 *Bod yn anghenrhaid i ddynion farw.* 7 *Cysur yw eu holl ran hwy yn y fuchedd yma.* 11 *Bod rhagluniaeth Duw yn llywodraethu pob peth.* 13 *Gwell yw doethineb ná chryfdwr.*

Cylch 977.

ER hyn oll mi a † ystyriais yn fy nghalon, i ddangos hyn oll; *bod* y cyfiawn, a'r doethion, a'u gweithredoedd, yn llaw Dduw: ni ŵyr dyn gariad, neu gas, *wrth* yr hyn oll *sydd* o'u blaen.

2 [a] Yr un peth *a ddamwain* i bawb fel ei gilydd: yr un peth a ddamwain i'r cyfiawn, ac i'r annuwiol; i'r da ac i'r glân, ac i'r aflan; i'r neb a abertha, ac i'r neb ni abertha: fel *y mae*'r da, felly *y mae*'r pechadur; a'r neb a dyngo, fel *y neb* a ofno dyngu.

3 Dyma ddrwg ym mysg yr holl *bethau* a wneir dan haul; *sef* bod yr un diben i bawb: hefyd calon meibion dynion sydd yn llawn drygioni, ac ynfydrwydd *sydd* yn

† Heb. *roddais at fy nghalon.*
a Psal. 73. 3, 12, 13. Mal. 3. 15.

eu calon tra fyddant fyw, ac ar ol hynny
*y maent yn myned* at y meirw.
4 ¶ Canys i'r neb a fo ynghymdeithas y
rhai byw oll, y mae gobaith: canys gwell
yw ci byw na llew marw.
5 O herwydd y rhai byw a wyddant y
[b] Job 14. 21. Esay 63. 16. byddant feirw: ond [b] nid oes dim gwybod-
aeth gan y meirw, ac nid oes iddynt wobr
mwyach; canys [c] eu coffa hwynt a anghof-
[c] Job. 7. 8, 9, 10. Esay 26. 14. iwyd.
6 Eu cariad hefyd, a'u cas, a'u cynfigen,
a ddarfu yn awr; ac nid oes iddynt gyfran
byth mwy o ddim oll a wneir dan yr haul.
[d] Pen. 8. 15. 7 ¶ Dos, [d] bwytta dy fwyd yn llawen,
ac yf dy win â chalon hyfryd: canys yn
awr cymmeradwy gan DDUW dy weithred-
oedd.
8 Bydded dy ddillad yn wŷnion bob am-
ser; ac na fydded diffyg olew ar dy ben.
† Heb. Gwel fywyd. 9 † Dwg dy fyd yn llawen gyd â'th wraig
anwyl holl ddyddiau bywyd dy oferedd, y
rhai a roddes efe i ti dan yr haul, holl ddy-
[e] Pen. 2. 10, 24. a 3. 13. a 5. 18. ddiau dy oferedd: [e] canys dyna dy ran di yn
y bywyd *yma*, ac yn dy lafur a gymmeri dan
yr haul.
10 Beth bynnag a ymafael dy law ynddo
i'w wneuthur, gwna â'th *holl* egni: canys
nid oes na gwaith, na dychymmyg, na gwy-
bodaeth, na doethineb, yn y bedd, lle yr
wyt ti yn myned.
11 ¶ Mi a droais, ac a welais dan haul,
nad *yw* y rhedfa yn eiddo'r cyflym, na'r
rhyfel yn eiddo'r cedyrn, na'r bwyd yn
eiddo'r doethion, na chyfoeth yn eiddo'r
pwyllog, na ffafr yn eiddo'r cyfarwydd;
ond amser a damwain a ddigwydd iddynt
oll.
[f] Pen. 8. 7. 12 Canys [f] ni ŵyr dyn chwaith ei amser:
fel y pysgod a ddelir â'r rhwyd niweidiol,
[g] Diar. 29. 6. Luc 12. 20, 39. ac fel yr adar a ddelir yn y delm; felly [g] y
delir plant dynion yn amser drwg, pan syr-
thio arnynt yn ddisymmwth.
13 ¶ Hefyd y doethineb hyn a welais i
dan haul, ac *sydd* fawr gennyf fi:
[h] Edrych 2 Sam. 20. 16—22. 14 [h] Yr *oedd* dinas fechan, ac ynddi
ychydig wŷr; a brenhin mawr a ddaeth yn
ei herbyn hi, ac a'i hamgylchynodd, ac a
gododd glawdd uchel yn ei herbyn:
15 A chafwyd ynddi wr tlawd doeth, ac
efe a waredodd y ddinas honno â'i ddoeth-
ineb; etto ni chofiodd neb y gwr tlawd
hwnnw.
[i] Diar. 21. 22. a 24. 5. Pen. 7. 19. 16 [i] Yna y dywedais, Gwell *yw* doeth-
ineb na nerth: er hynny dirmygir doeth-
ineb y tlawd, ac ni wrandewir ar ei eiriau
ef.
17 Geiriau'r doethion a wrandewir mewn
distawrwydd, rhagor bloedd yr hwn sy'n
llywodraethu ym mysg ffyliaid.
18 Gwell *yw* doethineb nag arfau rhyfel;
ond un pechadur a ddinystria lawer o dda-
ioni.

PEN. X.

Gorph. 15. P. 1 *Pethau i ddal urnynt ynghylch doethineb ac ynfydrwydd.* 16 *Am anllywodraeth,* 18 *diogi,* 19 *ac arian.* 20 *Rhaid i bawb feddwl yn barchedig o'r brenhin.*

Cylch 977. † Heb. marw-olaeth. GWYBED † meirw a wnant i ennaint yr
apothecari ddrewi; *felly* y gwna ychy-
dig ffolineb i wr ardderchog o herwydd
doethineb *ac* anrhydedd.
2 Calon y doeth *sydd* ar ei ddeheulaw; a
chalon y ffol ar ei law aswy.
3 Ie'r ffol pan rodio ar y ffordd, sydd â'i
galon yn pallu, ac y mae yn dywedyd wrth
bawb ei *fod* yn ffol.

4 Pan gyfodo yspryd pennadur yn dy er-
byn, [a] nac ymado â'th le: canys [b] ymos- [a] Pen. 8. 3.
twng a ostega bechodau mawrion. [b] Diar. 25. 15.
5 Y mae drwg a welais dan yr haul,
cyffelyb i gyfeiliorni sydd yn dyfod oddi ger
bron y llywydd:
6 Gosodir ffolineb mewn ‡ graddau uchel, ‡ Heb. uchelder. mawr.
a'r cyfoethog a eistedd mewn lle isel.
7 Mi a welais weision [c] ar feirch, a thy- [c] Diar. 19.
wysogion yn cerdded fel gweision ar y 10. a 30. 22.
ddaear.
8 [d] Y sawl a gloddio bwll, a syrth ynddo; [d] Psal. 7.
a'r neb a wasgaro gae, sarph a'i brath. 15. Diar. 26.
9 Y sawl a symmudo gerrig, a gaiff ddolur 27.
oddi wrthynt; a'r neb a hollto goed, a gaiff
niweid oddi wrthynt.
10 Os yr haiarn a byla, oni hoga efe'r
min, rhaid iddo roi mwy o nerth: etto
doethineb *sydd* ragorol i gyfarwyddo.
11 Os brath sarph [e] heb swyno, nid gwell [e] Psal. 58.
yw § dyn siaradus. 4, 5. Jer. 8. 17.
12 [f] Geiriau genau'r doeth *sydd* || rasol: § Heb.
ond [g] gwefusau'r ffol a'i difetha ef ei hun. perchen tafod.
13 Ffolineb *yw* dechreuad geiriau ei enau
ef: a diweddiad geiriau ei enau *sydd* anfad [f] Diar. 10.
ynfydrwydd. 32. a 12. 13.
14 [h] Y ffol hefyd sydd aml ei eiriau: [i] ni || Heb. ras.
ŵyr neb beth a fydd; a phwy a fynega iddo [g] Diar. 10.
pa beth fydd ar ei ol ef? 14. a 18. 7.
15 Llafur y ffyliaid a flina bawb o honynt: [h] Diar. 15.
canys ni fedr efe fyned i'r ddinas. 2.
16 ¶ [k] Gwae di'r wlad *sydd* â bachgen [i] Pen. 3.
yn frenhin i ti, a'th dywysogion yn bwytta 22. a 6. 12.
yn fore. a 8. 7.
17 Gwyn dy fyd di y wlad *sydd* â'th fren- [k] Esay 3.
hin yn fab i bendefigion, [l] a'th dywysogion 4, 5, 12. a 5. 11.
yn bwytta eu bwyd yn *eu* hamser, er cryfder, [l] Diar. 31.
ac nid er meddwdod. 4.
18 ¶ Trwy ddiogi lawer yr adfeilia'r
adeilad; ac wrth † laesu'r dwylaw y goll- † segurwyd
wng y tŷ ddefni. y dwylaw.
19 ¶ Arlwyant wledd i chwerthin, a
[m] gwin a lawenycha'r rhai byw; ond [m] Psal. 104.
arian sydd yn atteb i bob *peth*. 15.
20 ¶ [n] Na felldithia'r brenhin yn dy [n] Exod. 22.
‡ feddwl; ac yn ystafell dy wely na fell- 28.
dithia'r cyfoethog: canys ehediad yr awyr Act. 23. 5.
a gyhoedda'r llais, a pherchen adain a fy- ‡ Neu, gydwybod.
nega'r peth.

PEN. XI.

1 *Addysg at gariad perffaith.* 7 *Rhaid yw meddwl am angau mewn bywyd,* 9 *ac am ddydd y farn mewn ieuengctid.* Gorph. 16. B.

BWRW dy fara [a] ar wyneb y dyfroedd; Cylch
canys ti a'i cei ar ol [b] llawer o ddyddiau. 977.
2 [c] Dyro ran i saith, a hefyd i wyth: ca- [a] Edrych Esay 32. 20.
nys [d] ni wyddost pa ddrwg a ddigwydd ar y [b] Deut. 15.
ddaear. 10.
3 Os bydd y cymmylau yn llawn gwlaw, Diar. 19.
hwy a ddefnynant ar y ddaear: ac os tu a'r 17. Mat. 10. 42.
dehau neu tu a'r gogledd y syrth y pren; [c] Psal. 112.
lle y syrthio'r pren, yno y bydd efe. 9.
4 Y neb a ddalio ar y gwynt, ni haua; a'r Luc 6. 30.
neb a edrycho ar y cymmylau, ni feda. [d] Eph. 5.
5 Megis [e] na's gwyddost ffordd yr yspryd, 16.
[f] na pha fodd y *ffurfheir* yr esgyrn ynghròth [e] Ioan 3. 8.
y feichiog; felly ni wyddost waith DUW, yr [f] Psal. 139.
hwn sydd yn gwneuthur y cwbl. 14, 15.
6 Y bore haua dy had, a phrydnawn nac
attal dy law: canys ni wyddost pa un † a † Heb.
ffynna, ai hyn yma ai hyn accw, ai ynte da sydd unïawn.
*fyddant* ill dau yn yr un ffunud.
7 ¶ Melus yn ddiau *yw*'r goleuni, a hy-
fryd *yw* i'r llygaid weled yr haul.
8 Ond pe byddai dyn fyw lawer o fly-
nyddoedd, a bod yn llawen ynddynt oll;

etto cofied ddyddiau tywyllwch; canys llawer fyddant. Beth bynnag a ddigwyddo, oferedd *yw*.

9 ¶ Gwna yn llawen, wr ieuangc, yn dy ieuengctid, a llawenyched dy galon yn nyddiau dy ieuengctid, a rhodia yn ffyrdd dy galon, ac yngolwg dy lygaid: ond gwybydd y geilw Duw di i'r farn am hyn oll.

† Neu, *drist-wch.*
10 Am hynny bwrw † ddig oddi wrth dy galon, a thro ymaith ddrwg oddi wrth dy gnawd: canys gwagedd *yw* mebyd ac ieuengctid.

PEN. XII.

Gorph. 16. P.
1 *Rhaid yw meddwl am ein Gwneuthurwr mewn pryd.* 8 *Gofal y Pregethwr am adeiladu eraill.* 13 *Ofn Duw yw'r help pennaf yn erbyn pob gwagedd ac oferedd.*

Cylch 977.
ª Diar. 22. 6.
ᵇ Edrych 2 Sam. 19. 35.
ª COFIA yn awr dy greawdr yn nyddiau dy ieuengctid, cyn dyfod y dyddiau blin, a nesau o'r blynyddoedd ᵇ yn y rhai y dywedi, Nid oes i mi ddim diddanwch yndddynt:

2 Cyn tywyllu'r haul, a'r goleuni, a'r lleuad, a'r ser, a dychwelyd y cymmylau ar ol y gwlaw:

† Neu, malu *ychydig.*
3 Yr amser y cryna ceidwaid y tŷ, ac y crymma'r gwŷr cryfion, ac y metha'r rhai sydd yn malu, am eu bod yn † ychydig, ac y tywylla'r rhai sydd yn edrych trwy ffenestri;

4 A chau'r pyrth yn yr heolydd, pan fo isel swn y malu, a'i gyfodi wrth lais yr aderyn, a gostwng i lawr holl ferched cerdd:

5 Ië, *yr amser* y r ofnant *yr hyn sydd* uchel, ac yr arswydant yn y ffordd, ac y blodeua'r pren almon, ac y bydd y ceiliog rhedyn yn faich, ac y palla chwant: pan elo dyn i dŷ ei hir gartref, ᶜ a'r galarwŷr yn myned o bob tu yn yr heol: ᶜ Jer. 9. 17.

6 Cyn torri'r llinyn arian, a chyn torri'r cawg aur, a chyn torri'r piser ger llaw'r ffynnon, neu dorri'r olwyn wrth y pydew.

7 ᵈ Yna y dychwel y pridd i'r ddaear fel y bu, ac y dychwel yr yspryd at Dduw ᵉ yr hwn a'i rhoes ef. ᵈ Gen. 3. 19. Psal. 90. 3. ᵉ Num. 16. 22. a 27. 16. Job 34. 14. Esay 57. 16. Zech. 12. 1.

8 ¶ ᶠ Gwagedd o wagedd, medd y Pregethwr; gwagedd *yw*'r cwbl. ᶠ Pen. 1. 2.

9 A hefyd, am fod y Pregethwr yn ddoeth, efe a ddysgodd etto wybodaeth i'r bobl; ïe, efe a ystyriodd, ac a chwiliodd allan, *ac* ᵍ a drefnodd ddïarhebion lawer. ᵍ 1 Bren. 4. 32.

10 Chwiliodd y Pregethwr am eiriau ‡ cymmeradwy; a'r *hyn oedd* ysgrifenedig *oedd* union, *sef* geiriau gwirionedd. ‡ Heb. *dymunol.*

11 Geiriau'r doethion *sydd* megis symbylau, ac fel hoelion wedi eu sicrhâu *gan* feistraid y gynnulleidfa, *y rhai* a roddir oddi wrth un bugail. ʰ Pen. 1. 18.

12 Ym mhellach hefyd, fy mab, cymmer rybudd wrth y rhai hyn; nid *oes* diben ar wneuthur llyfrau lawer, a ʰ darllen llawer *sydd* flinder i'r cnawd. § Neu, *Diwedd y peth, sef, Y cwbl a glywyd, yw, &c.*

13 ¶ § Swm y cwbl a glybuwyd *yw*, ⁱ Ofna Dduw, a chadw ei orchymynion: canys hyn *yw* holl *ddyled* dyn. ⁱ Deut. 6. 2. a 10. 12.

14 Canys ᵏ Duw a ddwg bob gweithred i farn, a phob peth dirgel, pa un bynnag *fyddo* ai da ai drwg. ᵏ Rhuf. 2. 16. a 14. 10. 1 Cor. 4. 5. 2 Cor. 5. 10.

---

# ¶ CANIAD SALOMON.

PEN. I.

1 *Cariad yr eglwys ar Grist.* 5 *Y mae hi yn cyfaddef ei gwrthuni,* 7 *ac yn gweddïo am gael ei chyfarwyddo at ei ddiadell ddefaid ef.* 8 *Crist yn ei chyfarwyddo hi at bebyll y bugeiliaid:* 9 *a chan ddangos ei gariad tu ag atti,* 11 *yn gwneuthur iddi addewidion grasusol.* 12 *Crist a'i eglwys yn ymgaredigo.*

Cyn Crist cylch 1014.
CAN y caniadau, eiddo Salomon.

ª Pen. 4. 10.
2 Cusaned fi â chusanau ei fin: ª canys gwell *yw* dy gariad nâ gwin.

3 O herwydd arogl dy ennaint daionus, ennaint tywalltedig *yw* dy enw: am hynny y llangcesau a'th garant.

ᵇ Hos. 11. 4. Ioan 6. 44. a 12. 32.
ᶜ Phil. 3. 12, 13, 14.
ᵈ Psal. 45. 14, 15. Ioan 14. 2. Eph. 2. 6.
4 ᵇ Tyn fi, ᶜ ni a redwn ar dy ol. ᵈ Y brenhin a'm dug i i'w 'stafellau: ni a ymhyfrydwn ac a ymlawenhâwn ynot; ni a gofiwn dy gariad yn fwy nâ gwin: † y rhai uniawn sydd yn dy garu.

† Neu, *hwy a'th garant yn uniawn.*
5 Du *ydwyf* fi, ond hawddgar (merched Jerusalem) fel pebyll Cedar, fel llenni Salomon.

6 Nac edrychwch arnaf, am fy *mod* yn ddu, *ac* am i'r haul edrych arnaf: meibion fy mam a ddigiasant wrthyf, gosodasant fi i gadw gwinllannoedd *eraill;* fy ngwinllan fy hun ni's cedwais.

‡ Neu, *wedi ei gorchuddio.*
7 Mynega i mi, yr hwn a hoffodd fy enaid, pa le yr wyt yn bugeilio, pa le y gwnei iddynt orwedd ganol dydd: canys paham y byddaf megis un ‡ yn troi heibio wrth ddiadellau dy gyfeillion?

ᵉ Pen. 5. 9. a 6. 1.
8 ¶ Oni wyddost ti, ᵉ y deccaf o'r gwragedd, dos allan rhagot ar hŷd ôl y praidd, a phortha dy fynnod ger llaw pebyll y bugeiliaid.

9 I'r meirch yngherbydau Pharaoh y'th gyffelybais, ᶠ fy anwylyd. ᶠ Pen. 2. 2,

10 ᵍ Hardd yw dy ruddiau gan dlysau, a'th wddf gan gadwyni. 10, 13. a 4. 1, 7. a 5. 2. a 6. 4.

11 Tlysau o aur, a boglynnau o arian, a wnawn i ti. ᵍ Ioan 15. 14, 15.

12 ¶ Tra *yw*'r brenhin ar ei fwrdd, fy nardus i a rydd ei arogl. ª Ezec. 16. 11, 12, 13.

13 Fy anwylyd *sydd* im' yn bwysi myrr; rhwng fy mronnau yr erys dros nos.

14 Cangen o rawn § camphir *yw* fy anwylyd i mi, yngwinllannoedd En-gedi. § Neu, *cypres.*

15 ʰ Wele di yn dêg, fy ‖ anwylyd, wele di yn dêg; *y mae* i ti lygaid colommennod. ʰ Pen. 4. 1. a 5. 12. ‖ Neu, *nghyfeilles.*

16 Wele di, fy anwylyd, yn dêg, ac yn hawddgar; ein gwely hefyd *sydd* iraidd.

17 Swmmerau ein tai *sydd* gedrwŷdd; ein † distiau *sydd* ffynnidwŷdd. † Neu, *ceibr, neu, rhodfeydd.*

PEN. II.

1 *Y cariad sydd rhwng Crist a'i eglwys.* 8 *Gobaith,* 10 *a galwedigaeth yr eglwys;* 14 *a gofal Crist drosti.* 16 *Proffes yr eglwys, a'i ffydd, a'i gobaith.*

RHOSYN Saron, *a* lili'r dyffrynoedd, *ydwyf.* 1014.

2 Megis lili ym mysg y drain, felly *y mae* fy anwylyd ym mysg y merched.

3 Megis pren afalau ym mysg preniau'r coed, felly *y mae* fy anwylyd ym mhlith y meibion: † bu dda gennyf eistedd dan ei gysgod ef, a'i ffrwyth *oedd* felus ‡ i'm genau. † Heb. *deisyfiais.* ‡ Heb. *i daflod fy ngenau.*

4 Efe a'm dug i'r gwin-dy, a'i faner drosof *ydoedd* gariad.

5 Cynheliwch fi â phottelau, § cysurwch fi ag afalau; canys claf *ydwyf* fi o gariad. § Heb. *taenwch i mi afalau.*

[a] Pen. 8. 3. 6 [a] Ei law aswy *sydd* dan fy mhen, a'i ddeheulaw sydd yn fy nghofleidio.

[b] Pen. 3. 5. a 8. 4. 7 [b] Merched Jerusalem, tynghedaf chwi trwy iyrchod ac ewigod y maes, na chyffróch, ac na ddeffróch *fy* nghariad, hyd oni fynno ei hun.

8 ¶ *Dyma* lais fy anwylyd! wele ef yn dyfod, yn neidio ar y mynyddoedd, *ac* yn llammu ar y bryniau.

[c] Adn. 17. 9 [c] Tebyg *yw* fy anwylyd i iwrch neu lwdn hydd; wele efe yn sefyll y tu ol i'n pared, yn edrych trwy 'r ffenestri, yn ymddangos trwy 'r dellt.

10 Fy anwylyd a lefarodd, ac a ddywedodd wrthyf, Cyfod, fy anwylyd, a thyred di, fy mhrydferth.

11 Canys wele'r gauaf a aeth heibio, y gwlaw a basiodd, *ac* a aeth ymaith.

12 Gwelwyd y blodeu ar y ddaear, daeth amser i'*r adar* i ganu, clywyd llais y durtur yn ein gwlad.

13 Y ffigysbren a fwriodd allan ei ffigys irion, a'r gwinwŷdd *â'u* hegin grawn a roddasant arogl *teg*. Cyfod di, fy anwylyd, a thyred di, fy mhrydferth.

14 ¶ Fy ngholommen, *yr hon wyt* yn holltau y graig, yn lloches y grisiau, gâd i

[d] Pen. 8. 13. mi weled dy wyneb, [d] gâd i mi glywed dy lais: canys dy lais *sydd* beraidd, a'th olwg yn hardd.

[e] Ezec. 13. 4. Luc 13. 32. 15 Dèliwch i ni [e] y llwynogod, y llwynogod bychain, y rhai a ddifwynant y gwinllannoedd: canys *y mae* i'n gwinllannoedd egin grawnwin.

[f] Pen. 6. 3. a 7. 10. 16 ¶ [f] Fy anwylyd *sydd* eiddof fi, a minnau yn eiddo yntau; y mae efe yn bugeilio ym mysg y lili.

[g] Pen. 4. 6. 17 [g] Hyd oni wawrio'r dydd, a chilio o'r

[h] Pen. 8. 14. cysgodau; tro, bydd [h] debyg, fy anwylyd, i iwrch, neu lwdn hydd ym mynyddoedd

† Neu, *y gwahan.* † Bether.

## PEN. III.

1 *Ymdrech yr eglwys, a'i gorfodaeth mewn profedigaeth.* 6 *Yr eglwys yn ymogoneddu yng Nghrist.*

1014. [a] Esay 26. 9. LLIW [a] nos yn fy ngwely y ceisiais yr hwn a hoffa fy enaid: ceisiais ef, ac ni's cefais.

2 Codaf yn awr, ac af o amgylch y ddinas, trwy'r heolydd a'r ystrydoedd, ceisiaf yr hwn a hoffa fy enaid: ceisiais ef, ac ni's cefais.

[b] Pen. 5, 7. 3 [b] Y gwylwŷr, y rhai a aent o amgylch y ddinas, a'm cawsant: *gofynais*, A welsoch chwi yr hwn sydd hoff gan fy enaid?

4 Nid aethwn i nepell oddi wrthynt, hyd oni chefais yr hwn sydd hoff gan fy enaid: dèliais ef, ac ni's gollyngais, hyd oni ddygais ef i dŷ fy mam, ac i ystafell yr hon a'm hymddûg.

[c] Pen. 2. 7. a 8. 4. 5 [c] Merched Jerusalem, tynghedaf chwi trwy iyrchod ac ewigod y maes, na chyffróch ac na ddeffróch *fy* nghariad, hyd oni fynno ei hun.

[d] Pen. 8. 5. 6 ¶ [d] Pwy *yw* hon sydd yn dyfod i fynu o'r anialwch megis colofnau mŵg, wedi ei pher-arogli â myrr, ac â thus, *ac* â phob powdr yr apothecari?

7 Wele ei wely ef, *sef* yr eiddo Salomon; *y mae* tri ugain o gedyrn o'i amgylch, *sef* o gedyrn Israel.

8 Hwynt oll a ddaliant gleddyf, wedi eu dysgu i ryfel, pob un â'i gleddyf ar ei glun, rhag ofn liw nos.

† Neu, *welu.* 9 Gwnaeth y brenhin Salomon iddo † gerbyd o goed Libanus.

10 Ei byst ef a wnaeth efe o arian, ei lawr o aur, ei lenni o borphor; ei ganol a balmantwyd â chariad, i ferched Jerusalem.

11 Ewch allan, merched Sion, ac edrychwch ar y brenhin Salomon yn y goron â'r hon y coronodd ei fam ef yn ei ddydd dyweddi ef, ac yn nydd llawenydd ei galon ef.

## PEN. IV.

1 *Crist yn gosod allan hawddgar ddoniau'r eglwys:* 8 *yn danges ei gariad tu ag atti.* 16 *Yr eglwys yn gweddio ar gael ei gwneuthur yn gymmwys i'w bresennoldeb ef.*

[a] WELE di yn dêg, fy anwylyd, wele di yn dêg; dy lygaid *ydynt* golommennaidd rhwng dy lowethau; [b] dy wallt *sydd* fel diadell o eifr, y rhai a † ymddangosant o fynydd Gilead. 1014. [a] Pen. 1. 15. a 5. 12. [b] Pen. 6. 5, 6.

† Neu, *borant ar fynydd, &c.* 2 Dy ddannedd *sydd* fel diadell *o ddefaid gwastad*-gnaif, y rhai a ddaethant i fynu o'r olchfa; y rhai *oeddynt* bob un yn efeilliaid, ac nid *oedd* un ynddynt yn ddieppil.

[c] Pen. 6. 7. 3 Dy wefusau *sydd* fel edau 'sgarlad, a'th barabl yn weddus: [c] dy arleisiau rhwng dy lowethau *sydd* fel darn o bomgranad.

[d] Pen. 7. 4. 4 [d] Dy wddf *sydd* fel tŵr Dafydd, yr hwn a adeiladwyd yn dŷ arfau; tariannau fil sydd yn crogi ynddo, i gyd yn estylch y cedyrn.

[e] Pen. 7. 3. Edrych Diar. 5. 19. 5 [e] Dy ddwy fron *sydd* fel dau lwdn iwrch o efelliaid yn pori ym mysg lili.

[f] Pen. 2. 17. ‡ Heb. *anadlo.* 6 [f] Hyd oni ‡ wawrio'r dydd, a chilio o'r cysgodau, af i fynydd y myrr, ac i fryn y thus.

[g] Eph. 5. 27. 7 [g] Ti oll *ydwyt* dêg, fy anwylyd; ac nid *oes* ynot frycheuyn.

8 ¶ Tyred gyd â mi o Libanus, *fy* nyweddi, gyd â mi o Libanus: edrych o ben Amanah, o goppa Senir a [h] Hermon, o lochesau 'r [h] Deut. 3. 9.
llewod, o fynyddoedd y llewpardiaid.

9 Dygaist fy nghalon, fy chwaer, *a'm* dyweddi: dygaist fy nghalon ag un o'th lygaid, ag un gadwyn wrth dy wddf.

10 Mor dêg *yw* dy gariad, fy chwaer, *a'm* dyweddi! [i] pa faint gwell yw dy gariad na gwin, ac arogl dy olew na'r holl bêraroglau! [i] Pen. 1. 2.

11 Dy wefusau, *fy* nyweddi, sydd yn diferu *fel* dil mel: *y mae* mel a llaeth dan dy dafod, ac arogl dy wisgoedd [k] fel arogl Libanus. [k] Hos. 14. 6, 7.

12 Gardd § gauedig *yw* fy chwaer, *a'm* dyweddi: ffynnon gloëdig, ffynnon seliedig *yw*. § Heb. *gloëdig, neu, wedi ei bario.*

13 Dy blanhigion *sydd* berllan o bomgranadau, a ffrwyth peraidd, || camphir, a nardus; || Neu, *cypres.*

14 *Ie*, nardus a saffrwn, calamus a synamwn, a phob pren thus, myrr, ac aloes, ynghŷd â phob rhagorol bêr-lysiau.

15 Ffynnon y gerddi, ffynnon y dyfroedd byw, a ffrydiau o Libanus.

16 ¶ Deffro di, ogledd-wŷnt, a thyred ddeheu-wŷnt, chwŷth *ar* fy ngardd, *fel* y gwasgarer ei pher-aroglau: deued fy anwylyd i'w ardd, a bwyttâed ei ffrwyth peraidd ei hun.

## PEN. V.

1 *Crist yn deffròi'r eglwys â'i alwad.* 2 *Yr eglwys, wedi profi cariad Crist, yn glaf o gariad.* 9 *Portreiadu Crist wrth ei radau.*

DEUTHUM i'm gardd, fy chwaer, *a'm* dyweddi; casglais fy myrr gyd â'm peraroglau, bwytteais fy nil gyd â'm mel, yfais 1014.

fy ngwin gyd â'm llaeth: bwyttêwch, [a] gyfeillion, yfwch, ïe, † yfwch yn helaeth, *fy* rhai anwyl.

[a] Luc 15. 7, 10. Ioan 3. 29. † Neu, *a meddwer chwi gan gariad.*

2 ¶ Myfi *sydd* yn cysgu, a'm calon yn neffro: llais fy anwylyd *yw* [b] yn curo, *gan ddywedyd*, Fy chwaer, fy anwylyd, fy ngholommen, fy nihalog, agor i mi: canys llanwyd fy mhen â gwlith, a'm gwallt â defnynau'r nos.

[b] Dat. 3. 20.

3 Diosgais fy mhais; pa fodd y gwisgaf hi? golchais fy nhraed; pa fodd y diwynaf hwynt?

4 Fy anwylyd a estynodd ei law trwy'r twll; a'm hymysgaroedd a gyffrôdd ‡ er ei fwyn.

‡ Neu, *ynof.*

5 Mi a gyfodais i agori i'm hanwylyd; a'm dwylaw a ddiferasant *gan* fyrr, a'm byssedd *gan* fyrr yn diferu ar hŷd hespennau'r clo.

6 Agorais i'm hanwylyd; ond fy anwylyd a giliasai, *ac* a aethai ymaith: fy enaid a lewygodd pan lefarodd: [c] ceisiais, ac ni's cefais; gelwais ef, ond ni'm hattebodd.

[c] Pen. 3. 1.

7 [d] Y gwylwŷr y rhai a aent o amgylch y ddinas a'm cawsant, a'm tarawsant, a'm harchollasant: gwylwŷr y caerau a ddygasant fy ngorchudd oddi arnaf.

[d] Pen. 3. 3.

8 Merched Jerusalem, gorchymynaf i chwi, os cewch fy anwylyd, fynegi iddo fy *mod* yn glaf o gariad.

9 ¶ Beth *yw* dy anwylyd rhagor anwylyd *arall*, [e] deccaf o'r gwragedd? beth *yw* dy anwylyd rhagor anwylyd *arall*, pan orchymyni i ni felly?

[e] Pen. 1. 8.

10 Fy anwylyd *sydd* wŷn a gwridog, yn § rhagori ar ddengmil.

§ Heb. *banerog.*

11 Ei ben *fel* aur coeth, ei wallt ‖ yn grych, yn ddu fel y fran.

‖ Neu, *yn gudynnog.*

12 [f] Ei lygaid fel *llygaid* colommennod wrth afonydd dyfroedd, wedi eu golchi â llaeth, † wedi eu gosod yn gymmwys.

[f] Pen. 1. 15. a 4. 1. † Heb. *yn eistedd mewn cyflawnder.*

13 Ei ruddiau fel gwely per-lysiau, *fel* blodeu peraidd: ei wefusau *fel* lili yn diferu myrr diferol.

14 Ei ddwylaw *sydd fel* modrwyau aur, wedi eu llenwi o beryl: ei fol *fel* disglair ifori wedi ei wisgo â saphir.

15 Ei goesau *fel* colofnau marmor wedi eu gosod ar wadnau o aur coeth: ei wynebpryd fel Libanus, mor ddewisol a chedrwŷdd.

16 Melus odiaeth *yw* ‡ ei enau; ïe, *y mae* efe oll yn hawddgar. Dyma fy anwylyd, dyma fy ngyfaill, O ferched Jerusalem.

‡ *taflod ei enau.*

## PEN. VI.

1 *Yr eglwys yn gwneuthur proffes o'i ffydd yng Nghrist.* 4 *Crist yn dangos hawddgar ddoniau'r eglwys,* 10 *a'i gariad ef tu ag atti.*

1014.

I Ba le'r aeth dy anwylyd, [a] y deccaf o'r gwragedd? i ba le y trodd dy anwylyd? fel y ceisiom ef gyd â thi.

[a] Pen. 1. 8.

2 Fy anwylyd a aeth i wared i'w ardd, i welyau y per-lysiau, i ymborth yn y gerddi, ac i gasglu lili.

3 [b] Myfi *wyf* eiddo fy anwylyd, a'm hanwylyd yn eiddof finnau, yr hwn sydd yn bugeilio ym mysg y lili.

[b] Pen. 2. 16. a 7. 10.

4 ¶ Teg *ydwyt* ti, fy anwylyd, megis Tirsah, gweddus megis Jerusalem, [c] ofnadwy megis *llu* banerog.

[c] Adn. 10.

5 Tro dy lygaid oddi wrthyf, canys hwy a'm † gorchfygasant: [d] dy wallt *sydd* fel diadell o eifr y rhai a ymddangosasant o Gilead.

† Neu, *chwyddasant.* [d] Pen. 4. 1, 2.

6 Dy ddannedd *sydd* fel diadell o ddefaid a ddai i fynu o'r olchfa, y rhai sydd bob un yn dwyn dau oen, ac heb *un* yn ddïeppil yn eu mysg.

7 [e] Dy arleisiau rhwng dy lowethau *sydd* fel darn o bomgranad.

[e] Pen. 4. 3.

8 Y mae tri ugain o frenhinesau, ac o ordderch-wragedd bedwar ugain, a llangcesau heb rifedi.

9 Un *ydyw* hi, fy ngholommen, fy nihalog; unig ei mam *yw* hi, dewisol *yw* hi gan yr hon a'i hesgorodd: y merched a'i gwelsant, ac a'i galwasant yn ddedwydd; y brenhinesau a'r gordderch-wragedd, a hwy a'i canmolasant hi.

10 ¶ Pwy *yw* hon a welir fel y wawr, yn dêg fel y lleuad, yn bur fel yr haul, [f] yn ofnadwy fel *llu* banerog?

[f] Adn. 4.

11 Euthum i wared i'r ardd gnau, i edrych am ffrwythydd y dyffryn, [g] i weled a flodeuasai y winwŷdden, a flodeuasai y pomgranadau.

[g] Pen. 7. 12.

12 Heb wybod i mi ‡ y'm gwnaeth fy enaid *megis* cerbydau Ammi-nadib.

‡ Neu, *fy enaid a'm gosododd ar gerbydau fy mhobl ewyllysgar.*

13 Dychwel, dychwel, y Sulamees; dychwel, dychwel, fel yr edrychom arnat. Beth a welwch chwi yn y Sulamees? Megis tyrfa § dau lu.

§ *Mahanaim.*

## PEN. VII.

1 *Hyspysrwydd pellach o rudau'r eglwys.* 10 *Yr eglwys yn gwneuthur proffes o'i ffydd, ac o'i dymuniad.*

MOR dêg *yw* dy draed mewn esgidiau, 1014.
ferch pendefig! cymmalau dy forddwydydd *sydd* fel tlysau, gwaith dwylaw'r cywraint.

2 Dy fogail *sydd fel* gorflwch crwn, heb eisiau † lleithder: dy fru *fel* twrr gwenith wedi ei amgylchu â lili.

† Heb. *cymmysg.*

3 [a] Dy ddwyfron megis dau lwdn iwrch o efelliaid.

[a] Pen. 4. 5.

4 [b] Dy wddf fel tŵr o ifori; dy lygaid *fel* pysgod-lynnoedd yn Hesbon wrth borth Bath-rabbim; dy drwyn fel tŵr Libanus yn edrych tu a Damascus.

[b] Pen. 4. 4.

5 Dy ben *sydd* arnat fel ‡ Carmel, a gwallt dy ben fel porphor; y brenhin *sy* wedi ei rwymo yn y rhodfeydd.

‡ Neu, *ysgarlad.*

6 Mor dêg ydwyt ac mor hawddgar, fy nghariad, am hyfrydwch!

7 Dy uchder yma sydd debyg i balmwŷdden, a'th fronnau i'r grawn-sypiau.

8 Dywedais, Dringaf i'r balmwŷdden, ymaflaf yn ei cheingciau: ac yn awr dy fronnau fyddant megis grawn-ganghennau y winwŷdden, ac arogl dy ffroenau megis afalau;

9 A thaflod dy enau megis y gwin goreu i'm hanwylyd, yn myned i *wared* § yn felus, ac yn peri i wefusau'r rhai a fyddo'n ‖ cysgu lefaru.

§ Heb. *yn uniawn.* ‖ Neu, *hen.*

10 ¶ [c] Eiddo fy anwylyd *ydwyf* fi, ac [d] attat fi *y mae* ei ddymuniad ef.

[c] Pen. 2. 16. a 6. 3. [d] Psal. 45. 11.

11 Tyred, fy anwylyd, awn i'r maes, *a* llettywn yn y pentrefydd.

12 Bore-godwn i'r gwinllannoedd; [e] edrychwn a flodeuodd y winwŷdden, a † agorodd egin y grawnwin, a flodeuodd y pomgranadau: yno y rhoddaf fy nghariad i ti.

[e] Pen. 6. 11. † Neu, *ymddangosodd.*

13 [f] Y mandragorau a roddasant arogledd, ac wrth ein drysau [g] *y mae* pob rhyw odidawg ffrwythau, newydd a hen, *y rhai* a rois i gadw i ti, fy anwylyd.

[f] Gen. 30. 14. [g] Mat. 13. 52.

PEN. VIII.

1 *Cariad yr eglwys tu ag at Grist.* 6 *Mor an-gerddol yw cariad.* 8 *Galwad y cenhedloedd.* 14 *Yr eglwys yn gweddio am ddyfodiad Crist.*

1014. O Na *bait* megis brawd im', yn sugno
bronnau fy mam! *pan* y'th gawn allan,
† Neu, *dirmygent.* cusanwn di; etto ni'm † dirmygid.
2 Arweiniwn, *a* dygwn di i dŷ fy mam,
[a] Diar. 9. 2. *yr hon* a'm dysgai: parwn it' yfed [a] gwin
llysieuog o sugn fy mhomgranadau.
[b] Pen. 2. 6. 3 [b] Ei law aswy *fyddai* dan fy mhen, a'i
law ddehau a'm cofleidiai.
[c] Pen. 2. 7. a 3. 5. 4 [c] Tynghedaf chwi, ferched Jerusalem,
‡ na chyffrôch, ac na ddeffrôch *fy* nghariad,
‡ Heb. *pahum y cyffrôech, a phaham y deffrôech.* hyd oni fynno ei hun.
5 [d] (Pwy *yw* hon sydd yn dyfod i fynu
o'r anialwch, *ac* yn pwyso ar ei hanwylyd?)
Dan yr afallen y'th gyfodais: yno y'th es-
gorodd dy fam; yno y'th esgorodd *yr hon*
[d] Pen. 3. 6. a'th ymddûg.
[e] Esay 49. 16. 6 ¶ [e] Gosod fi megis sel ar dy galon, fel
Jer. 22. 24. sel ar dy fraich: canys cariad *sydd* gryf fel
Hag. 2. 23. angau; eiddigedd *sydd* § greulon fel y bedd:
§ Heb. *galed.* ei farwor *sydd* farwor tanllyd, *a* fflam an-
gerddol *iddynt*.

7 Dyfroedd lawer ni allant ddiffoddi car-
iad, ac afonydd ni's boddant: [f] pe rhoddai [f] Diar. 6. 35.
wr holl gyfoeth ei dŷ am gariad, gan ddir-
mygu y dirmygid hynny.
8 ¶ Y *mae* i ni chwaer fechan, ac nid *oes*
fronnau iddi: beth a wnawn i'n chwaer y
dydd y dyweder am dani?
9 Os caer *yw* hi, ni a adeiladwn arni ba-
las arian; ac os drws *yw* hi, ni a'i cauwn hi
ag ystyllod cedrwŷdd.
10 Caer *ydwyf* fi, a'm bronnau fel tyrau:
yna'r oeddwn yn ei olwg ef megis wedi cael
‖ tangnefedd. ‖ *Neu, heddwch.*
11 Yr oedd gwinllan i Salomon yn Baal- Mat. 21. 33.
hamon: efe a osododd y winllan i war-
cheidwaid; pob un a ddygai am ei ffrwyth
fil o *ddarnau* arian.
12 Fy ngwinllan *sydd* ger fy mron: mil
*a roddir* i ti, Salomon, a dau cant i'r rhai a [g] Pen. 2. 14.
gadwant ei ffrwyth hi.
13 *Oh* yr hon a drigi yn y gerddi, y cyf- † Heb. *Ffo ymaith.*
eillion a wrandawant ar dy lais: [g] par i mi
*ei* glywed.
14 ¶ † [h] Brysia, fy anwylyd, a [i] bydd [h] Edrych Dat. 22. 17, 20.
debyg i iwrch neu lwdn hydd ar fynydd-
oedd y per-lysiau. [i] Pen. 2. 17.

# ¶ LLYFR y Prophwyd ESAY.

PEN. I.

Tach. 23. P. Sul 1 o'r Adfent, B. 1 *Esay yn achwyn ar Judah am ei hanufudd-dod:* 5 *yn gofidio am ei barnedigaeth hi:* 10 *yn edliw iddynt eu holl wasanaeth:* 16 *yn annog i edifeirwch, trwy addewidion a bygythion:* 21 *yn cwyno eu hannuwioldeb hwy, ac yn datgan barnedigaethau Duw:* 25 *yn addaw gras;* 28 *ac yn bygwth dinystr ar yr annuwiol.*

Cyn Crist cylch 760.
[a] GWELEDIGAETH Esay fab Amos, yr
hon a welodd efe am Judah a Jerusa-
lem, yn nyddiau Uzzïah, Jotham, Ahaz, *a*
Hezecïah, brenhinoedd Judah.
[a] Num. 12. 6. 2 [b] Gwrandêwch, nefoedd; clyw, dithau,
ddaear: canys yr ARGLWYDD a lefarodd,
[b] Deut. 32. 1. Megais a meithriniais feibion, a hwy a
Jer. 2. 12. wrthryfelasant i'm herbyn.
a 22. 29. 3 [c] Yr ŷch a edwyn ei feddiannydd, a'r
Ezec. 36. 4. asyn breseb ei berchennog: *ond* Israel nid
Michah 1. 2. a 6. 1, 2. edwyn, fy mhobl ni ddeall.
[c] Jer. 8. 7. 4 Oh genhedlaeth bechadurus, pobl lwyth-
og o anwiredd, had y rhai drygionus, meib-
ion yn llygru: gwrthodasant yr ARGLWYDD,
† Heb. *ymddieithrasant, neu, ymwahanasant.* digiasant Sanct Israel, † ciliasant yn ol!
5 ¶ [d] I ba beth y'ch tarewir mwy? cil-
dynrwydd a 'chwanegwch: y pen oll *sydd*
glwyfus, a'r holl galon yn llesg.
Psal. 58. 3. 6 O wadn y troed hyd y pen nid *oes* dim
[d] Jer. 2. 30. ‡ cyfan ynddo; *ond* archollion, a chleis-
a 5. 3. iau, a gweliau crawnllyd: ni wasgwyd
‡ *iach.* hwynt, ac ni rwymwyd, ac ni thynerwyd
ag olew.
[e] Deut. 28. 51, 52. 7 [e] Y *mae* eich gwlad yn anrheithiedig,
eich dinasoedd wedi eu llosgi â thân: eich
Pen. 5. 5. tir a dïeithriaid yn ei ysu yn eich gŵydd,
§ Heb. *dymchweliad estroniaid.* ac wedi ei anrheithio fel § pe'd ymchwelai
estroniaid ef.
8 Merch Sïon a adewir [f] megis lluesty
[f] Job 27. 18. mewn gwinllan, megis lletty mewn gardd
Galar. 2. 6. cucumerau, megis dinas warchaeedig.
9 [g] Oni buasai i ARGLWYDD y lluoedd
[g] Gal. 3. 22. Rhuf. 9. 29. adael i ni ychydig iawn o weddill, fel [h] So-
[h] Gen. 19. 24. dom y buasem, *a* chyffelyb fuasem i Go-
morrah.

10 ¶ Gwrandêwch air yr ARGLWYDD,
tywysogion [i] Sodom; clywch gyfraith ein [i] Deut. 32. 32.
Duw ni, pobl Gomorrah. Ezec. 16. 46.
11 [k] Beth *yw* lliosowgrwydd eich aberth-
au i mi? medd yr ARGLWYDD: llawn [k] Psal. 50. 8, 9. a 51. 16.
ydwyf o boeth-aberthau hyrddod, ac o fras-
der anifeiliaid breision; gwaed bustych he- Diar. 15. 8. a 21. 27.
fyd, ac ŵyn, a bychod, nid ymhyfrydais Pen. 66. 3.
ynddynt. Jer. 6. 20. a 7. 2.
12 Pan ddeloch [l] ‖ i ymddangos ger fy Amos 5. 21, 22.
mron, pwy a geisiodd hyn ar eich llaw, *sef*
sengi fy nghynteddau? Michah 6. 7.
13 Na 'chwanegwch ddwyn offrwm ofer:
arogl-darth sydd ffiaidd gennyf; ni allaf [l] Exod. 23. 17. a 34. 23.
oddef y newydd-loerau na'r sabbothau,
[m] cyhoeddi cymmanfa; † anwiredd *ydyw*, ‖ Heb. *i'ch gweled.*
sef yr uchel-wyl gyfarfod.
14 Eich lleuadau newydd a'ch gwyliau [m] Joel 1. 14. a 2. 15.
gosodedig a gasaodd fy enaid: y maent yn
faich arnaf; [n] blinais yn *eu* dwyn. † Neu, *gofid.*
15 A [o] phan estynoch eich dwylaw, mi [n] Pen. 43. 24.
a guddiaf fy llygaid rhagoch: hefyd pan
‡ weddïoch lawer, ni wrandawaf: [p] eich [o] Job 27. 9.
dwylaw sydd lawn o waed. Diar. 1. 28.
16 ¶ Ymolchwch, ymlanhêwch, bwriwch Jer. 14. 12. Michah 3. 4.
ymaith ddrygioni eich gweithredoedd oddi
ger bron fy llygaid; [q] peidiwch â gwneu- ‡ Heb. *amlhaoch weddi.*
thur drwg.
17 Dysgwch wneuthur daioni: ceisiwch [p] Pen. 59. 3.
farn, gwnewch uniondeb i'r gorthrymme-
dig, gwnewch farn i'r ymddifad, dadleuwch [q] Psal. 34. 14. a 37. 27.
dros y weddw.
18 Deuwch yr awr hon, ac [r] ymresym- Amos 5. 15.
mwn, medd yr ARGLWYDD: pe byddai Rhuf. 12. 9.
eich pechodau fel ysgarlad, [s] ant cyn wŷn- 1 Petr 3. 11.
ned a'r eira; pe cochent fel porphor, bydd-
ant fel gwlan. [r] Pen. 43. 26.
19 Os byddwch ewyllysgar ac ufudd, da- Michah 6. 2.
ioni'r tir a fwyttêwch.
20 Ond os gwrthodwch, ac os anufudd- [s] Psal. 51. 7.
hêwch, â chleddyf y'ch ysir; canys genau'r Dat. 7. 14.
ARGLWYDD a'i llefarodd.
21 ¶ [t] Pa wedd yr aeth y ddinas ffyddlon [t] Jer. 2. 21.
yn buttain! cyflawn fu o farn: llettyodd cy-
fiawnder ynddi; ond yr awr hon lleiddiaid.

[u] Jer. 6. 28, 22 [u] Dy arian a aeth yn sothach, dy win
30. Ezec. 22. sydd wedi ei gymmysgu â dwfr;
18, 19. 23 Dy dywysogion *sydd* gyndyn, ac [x] yn
[x] Diar. 29. gyfrannogion â lladron; [y] pob un yn caru
24. rhoddion, ac yn dilyn gwobrau: [z] ni far-
[y] Ezec. 22. nant yr amddifad, a chŵyn y weddw ni chaiff
12. Hos. 4. 18. ddyfod attynt.
Michah 3. 24 Am hynny medd yr Arglwydd, AR-
11. GLWYDD y lluoedd, cadarn DDUW Israel,
[z] Jer. 5. 28. Aha, [a] ymgysuraf ar fy ngwrthwynebwŷr,
Zech. 7. 10. ac ymddialaf ar fy ngelynion.
[a] Deut. 28. 25 ¶ A mi a ddychwelaf fy llaw arnat, ac
63. Ezec. 5. 13. [b] a † lân-buraf dy sothach, ac a dynnaf
[b] Jer. 6. 29. ymaith dy holl alcam.
a 9. 7. 26 Adferaf hefyd dy farnwŷr fel cynt,
Mal. 3. 3. a'th gynghoriaid megis yn y dechreu: wedi
† Heb. *buraf fel* hynny [c] y'th elwir yn Ddinas cyfiawnder, yn
*pureidd-* Dref ffyddlon.
*iad.* 27 Sion a waredir â barn, a'r rhai a ddy-
[c] Zech. 8. 3. chwelant ynddi â chyfiawnder.
‡ Heb. 28 ¶ A ‡ [d] dinystr y troseddwŷr a'r pech-
*dylliad.* aduriaid *fydd* ynghŷd: a'r rhai a yma-
[d] Job 31. 3. dawant â'r ARGLWYDD, a ddifethir.
Psal. 1. 6.
a 5. 6. a 73. 29 Canys cywilyddiant o achos [e] y derw
27. a 92. 9. a chwennychasoch; a gwarthruddir chwi am
a 104. 35. [f] y gerddi a ddetholasoch.
[e] Pen. 57. 30 Canys byddwch fel derwen â'i dail yn
5. syrthio, ac fel gardd heb ddwfr iddi.
[f] Pen. 65. 31 A'r cadarn fydd fel carth, a'i § weith-
3. a 66. 17. ydd fel gwreichionen: a hwy a losgant ill
§ Neu, *waith.* dau ynghŷd, ac ni bydd a'*u* diffoddo.

## PEN. II.

Tach. 24. B. Sul 1 o'r Adfent, P. 1 *Esay yn prophwydo dyfodiad brenhiniaeth Crist.* 6 *Annuwioldeb yw'r achos y mae Duw yn gwrthod dyn.* 10 *Y mae yn annog i ofni, o herwydd maint yw gallu mawrhydi Duw.*

Cylch 760. Y Gair yr hwn a welodd Esay mab Amos,
am Judah a Jerusalem.
[a] Michah 4. 2 A [a] bydd yn y dyddiau diweddaf, [b] fod
1, &c. mynydd tŷ 'r ARGLWYDD wedi ei † barottôi
[b] Psal. 68. yn mhen y mynyddoedd, ac yn ddyrcha-
15, 16. fedig goruwch y bryniau; a'r holl genhedl-
† Neu, *sicrhau.* oedd a ddylifant atto.
3 A phobloedd lawer a ant ac a ddywed-
[c] Jer. 31. 6. ant, [c] Deuwch, ac esgynwn i fynydd yr
a 50. 5. ARGLWYDD, i dŷ DUW Jacob; ac efe a'n
Zech. 8. 21. dysg ni yn ei ffyrdd, a ni a rodiwn yn ei
lwybrau ef: canys y gyfraith a â allan o
Sion, a gair yr ARGLWYDD o Jerusa-
lem.
4 Ac efe a farna rhwng y cenhedloedd,
[d] Psal. 46. ac a gerydda bobloedd lawer: a [d] hwy a
9. Hos. 2. 18. gurant eu cleddyfau yn sychau, a'u gwayw-
Zech. 9. 10. ffyn yn bladuriau: ni chyfyd cenedl gleddyf
yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel mwy-
ach.
5 Tŷ Jacob, deuwch, a rhodiwn yngoleuni 'r
ARGLWYDD.
6 ¶ Am hynny y gwrthodaist dy bobl,
‡ Neu, *yn* tŷ Jacob, am eu bod wedi eu llenwi ‡ allan
*fwy na'r* o'r dwyrain, [e] a'u *bod* yn swynwŷr megis y
*dwyrain.* Philistiaid, ac mewn plant dieithriaid § yr
[e] Deut. 18. 14. ymfoddlonant.
§ Neu, *yr* 7 [f] A'u tir sydd gyflawn o arian ac aur,
*ymddigon-* ac nid *oes* diben ar eu trysorau; a'u tir sydd
*ant.* lawn o feirch, ac nid *oes* diben ar eu cerby-
[f] Deut. 17. 16, 17. dau.
8 Eu tir hefyd sydd lawn o eilunod; i
waith eu dwylaw eu hun yr ymgrymmant,
i'r hyn a wnaeth eu bysedd eu hun:
9 A'r gwreng sydd yn ymgrymmu, a'r
bonheddig yn ymostwng: am hynny na
faddeu iddynt.
10 ¶ Dos i'r graig, ac ymgûdd yn y llwch,
rhag ofn yr ARGLWYDD, a rhag gogoniant
ei fawredd ef.
11 [g] Uchel drem dyn a iselir, ac uchder [g] Pen. 5.
dynion a ostyngir; a'r ARGLWYDD yn unig 15.
a ddyrchefir yn y dydd hwnnw.
12 Canys dydd ARGLWYDD y lluoedd
*fydd* ar bob balch ac uchel, ac ar bob dyr-
chafedig; ac efe a ostyngir:
13 Ac ar holl uchel a dyrchafedig [h] gedr- [h] Zech. 11.
wŷdd Libanus, ac ar holl dderw Basan, 1, 2. Edrych
14 Ac [i] ar yr holl fynyddoedd uchel, ac Ezec. 31. 3.
ar yr holl fryniau dyrchafedig, [i] Pen. 30.
15 Ac ar bob tŵr uchel, ac ar bob ma- 25.
gwyr gadarn,
16 Ac ar holl [k] longau Tarsis, ac ar yr [k] 1 Bren.
holl luniau dymunol. 10. 22.
17 Yna yr iselir uchelder dyn, ac y gostyng-
ir uchder dynion: a'r ARGLWYDD yn unig
a ddyrchefir yn y dydd hwnnw.
18 A'r eilunod a ‖ fwrw efe ymaith yn ‖ Neu,
hollol. *ant ymaith.*
19 A hwy a ant i [l] dyllau'r creigiau, [l] Hos. 10. 8.
ac i ogofau † llychlyd, rhag ofn yr AR- Luc 23. 30.
GLWYDD, a rhag gogoniant ei fawredd ef, Dat. 6. 16.
pan gyfodo efe i gynhyrfu 'r ddaear. a 9. 6.
20 [m] Yn y dydd hwnnw y teifl dyn ‡ ei † Heb. *y llwch.*
eilunod arian, a'i eilunod aur (y rhai a [m] Pen. 30.
wnaethant § iddynt i'w haddoli) i'r wadd, 22. a 31. 7.
ac i'r ystlummod: ‡ Heb.
21 I fyned i agennau'r creigiau, ac i gop- *eilunod ei arian.*
paau y clogwyni, rhag ofn yr ARGLWYDD, § Neu,
a rhag gogoniant ei fawredd ef, pan gyfodo *iddo.*
efe i gynhyrfu 'r ddaear.
22 Peidiwch chwithau â'r dyn yr hwn
*sydd* â'i anadl yn ei ffroenau: canys ym
mha beth y gwneir cyfrif o hono?

## PEN. III.

1 *Y mawr waradwydd sydd yn dyfod o bechu.* Tach. 24. P.
9 *Digywilydd-dra 'r bobl.* 12 *Traha a chybydd-dod y llywodraethwŷr.* 16 *Pa ddialedd a ddaw am falchder y gwragedd.*

CANYS wele'r Arglwydd, ARGLWYDD y Cylch
lluoedd, [a] a dynn ymaith o Jerusalem, 760.
ac o Judah, [b] y cynhaliaeth a'r ffon, holl [a] Jer. 37.
gynhaliaeth bara, a holl gynhaliaeth dwfr, 21. a 38. 9.
2 [c] Y cadarn, a'r rhyfelwr, y brawdwr, [b] Lef. 26. 26.
a'r prophwyd, y synhwyrol, a'r henwr,
3 Y tywysog deg a deugain, a'r † anrhy- [c] Edrych 2 Bren. 24.
deddus, a'r cynghorwr, a'r crefftwr celfydd, 14.
a'r areithiwr hyawdl. † Heb.
4 A rhoddaf [d] blant yn dywysogion idd- *uchel ei wyneb.*
ynt, a bechgyn a arglwyddiaetha arnynt. [d] Preg. 10.
5 A'r bobl a orthrymmir y naill gan y llall, 16.
a phob un gan ei gymmydog: y bachgen yn
erbyn yr henwr, a'r gwael yn erbyn yr an-
rhydeddus, a ymfalchïa.
6 Pan ymaflo gwr yn ei frawd o dŷ ei
dad, *gan ddywedyd*, Y mae dillad gennyt,
bydd dywysog i ni; a *bydded* y cwymp hwn
dan dy law di:
7 Yntau a ‡ dwng yn y dydd hwnnw, gan ‡ Heb.
ddywedyd, Ni byddaf § iachawr; canys yn *gyfyd ei law,*
fy nhŷ nid *oes* fwyd na dillad: na osod- Gen. 14. 22.
wch fi yn dywysog i'r bobl. § Heb.
8 Canys cwympodd Jerusalem, a syrth- *rhwymwr.*
iodd Judah; o herwydd eu tafod hwynt
a'u gweithredoedd *sydd* yn erbyn yr AR-
GLWYDD, i gyffrôi llygaid ei ogoniant ef.
9 ¶ Dull eu hwynebau hwynt a dystiolaetha
yn eu herbyn; a'u pechod fel [e] Sodom a [e] Gen. 13.
fynegant, *ac* ni chelant: gwae eu henaid, 13. a 18. 21.
canys talasant ddrwg iddynt eu hunain. a 19. 5.
10 Dywedwch mai da *fydd* i'r cyfiawn:
canys [f] ffrwyth eu gweithredoedd a fwyn- [f] Psal. 128.
hânt 2.

11 Gwae 'r anwir, drwg *fydd iddo*: canys
gwobr ei ddwylaw ei hun a † fydd iddo.
12 ¶ Fy mhobl [g] *sydd* a'u treiswŷr yn
fechgyn, a gwragedd a arglwyddiaethant ar-
nynt. O fy mhobl, [h] y rhai a'th ‡ dywysant
sy 'n peri it' gyfeiliorni, a ffordd dy lwybrau
a § ddistrywiant.
13 Yr ARGLWYDD sy 'n sefyll i ymdda-
dleu, ac yn sefyll i farnu 'r bobloedd.
14 Yr ARGLWYDD a ddaw i farn â
henuriaid ei bobl, a'u tywysogion: canys
chwi a || borasoch y winllan; anrhaith y
tlawd *sydd* yn eich tai.
15 Beth *sydd* i chwi a guroch ar fy mhobl,
ac a faloch ar wynebau 'r tlodion? medd
ARGLWYDD DDUW y lluoedd.
16 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd, O
herwydd balchïo o ferched Sion, a rhodio
â gwddf estynedig, ac â llygaid † gwam-
mal, gan rodio a rhygyngu *wrth* gerdded, a
thrystio â'u traed:
17 Am hynny y clafra 'r ARGLWYDD go-
rynnau merched Sion; a'r ARGLWYDD [i] a
ddinoetha eu gwarthle hwynt.
18 Yn y dydd hwnnw y tyn yr AR-
GLWYDD ymaith addurn yr esgidiau, y
rhwydwaith hefyd, a'r lloerawg wisgoedd,
19 Y ‡ cadwynau, a'r breichledau, a'r
moledau,
20 Y penguwch, ac addurn y coesau, a'r
ysnodennau, a'r § dwyfronnegau, a'r clust-
dlysau,
21 Y modrwyau, ac addurn y trwyn,
22 Y gwisgoedd symmudliw, a'r mentyll,
a'r misyrnau, a'r crych-nodwyddau,
23 Y drychau hefyd, a'r lliain meinwŷch,
a'r coccyllau, a'r gynau.
24 A bydd yn lle per-arogl, ddrewi;
bydd hefyd yn lle gwregys, rwygiad; ac
yn lle iawn drefn gwallt, moelni; ac yn lle
dwyfronneg, gwregys o sachliain; *a* llosgfa
yn lle prydferthwch.
25 Dy wŷr a syrthiant gan y cleddyf, a'th
|| gadernid trwy ryfel.
26 A'i phyrth hi a ofidiant, ac a alarant:
a hithau † yn anrheithiedig a eistedd ar y
ddaear.

† Neu, roddir. Heb. a wnair.
g Adn. 4.
h Pen. 9. 16.
‡ Neu, fendithiant.
§ Heb. lyncant.
|| Neu, losgasoch.
† Neu, yn hudo.
i Pen. 47. 2, 3. Nah. 3. 5.
‡ Neu, pel ar-oglau.
§ Heb. tai yr enaid.
|| Neu, gedyrn.
* Neu, yn rhag.
Heb. wedi ei glanhau.

## PEN. IV.

*Mewn dygn adfyd, teyrnas Crist a fydd noddfa.*

Tach. 25. B.
Cylch 760.

AC yn y dydd hwnnw saith o wragedd
a ymaflant mewn un gŵr, gan ddy-
wedyd, Ein bara ein hun a fwyttâwn, a'n
dillad ein hun a wisgwn: yn unig galwer dy
enw di arnom ni; † cymmer ymaith [a] ein
gwarth ni.
2 Y pryd hynny y bydd [b] Blaguryn
yr ARGLWYDD yn brydferthwch ac yn
ogoniant; a ffrwyth y ddaear yn rhagorol
ac yn hardd ‡ i 'r rhai a ddïangasant o Israel.
3 A bydd, *am* yr hwn a adewir yn Sion,
ac a weddillir yn Jerusalem, y dywedir
wrtho, O sanct; *sef* pob un a'r a 'sgrifenwyd
§ ym mhlith y rhai byw yn Jerusalem.
4 Pan [c] ddarffo i 'r ARGLWYDD olchi
bodreddi merched Sion, a charthu gwaed
Jerusalem o'i chanol, mewn yspryd barn, ac
mewn yspryd llosgfa.
5 A'r ARGLWYDD a grea ar bob trigfa
o fynydd Sion, ac ar ei gymmanfaoedd,
[d] gwmmwl a mwg y dydd, a llewyrch tân
fflamllyd y nos: canys || ar yr holl ogoniant
*y bydd* † ymddiffyn.
6 A phabell fydd yn gysgod y dydd rhag
gwres, ac yn noddfa ac yn ddiddos rhag
tymmestl a rhag gwlaw.

† Neu, cymmeryd ymaith.
a Luc 1. 25.
b Zech. 3. 8. a 6. 12.
‡ Heb. i ddiangfa Israel.
§ Neu, mewn bywyd.
c Mal. 3. 2, 3.
d Exod. 13. 21.
|| Neu, uwch ben.
† Heb. gorchudd.

## PEN. V.

1 *Trwy ddammeg y winllan, y mae Duw yn*
*esgusodi bod ei farnedigaethau cyn dosted.*
8 *Ei farnedigaethau ef yn erbyn cybydd-*
*dod,* 11 *a thrythyllwch,* 13 *ac annuwiol-*
*deb,* 20 *ac anghyfiawnder.* 26 *Y rhai a*
*ddïaleddir dros Dduw.*

Tach. 25. P.
Sul 2 o'r Adfent, B.

CANAF yr awr hon i'm hanwylyd, ganiad
fy anwylyd am [a] ei winllan. Gwinllan
sydd i'm hanwylyd † mewn bryn tra ffrwyth-
lon.
2 Ac efe a'i ‡ cloddiodd hi, ac a'i digar-
egodd, ac a'i plannodd o'r winwŷdden
oreu, ac a adeiladodd dŵr yn ei chanol,
ac a drychodd winwryf ynddi: ac efe a
ddisgwyliodd *iddi* ddwyn grawnwin, hithau
a ddug rawn gwylltion.
3 Ac yr awr hon, preswylwŷr Jerusalem,
a gwŷr Judah, bernwch, attolwg, rhyngof fi
a'm gwinllan.
4 Beth *oedd* i'w wneuthur ychwaneg i'm
gwinllan, nag a wneuthum ynddi? paham,
a mi yn disgwyl iddi ddwyn grawnwin, y
dug hi rawn gwylltion?
5 Ac yr awr hon mi a hyspysaf i chwi yr
hyn a wnaf i'm gwinllan: [b] tynnaf ymaith
ei chae, fel y porer hi; torraf ei magwyr, fel
y byddo hi yn sathrfa.
6 A mi a'i gosodaf hi yn ddifrod: nid
ysgythrir hi, ac ni chloddir hi; ond mieri
a drain a gyfyd: ac i 'r cymmylau y gorchy-
mynaf na wlawiont wlaw arni.
7 Dïau, gwinllan ARGLWYDD y lluoedd
*yw* tŷ Israel, a gwŷr Judah *yw* § ei blanhigyn
hyfryd ef: ac efe a ddisgwyliodd am farn,
ac wele || drais; am gyfiawnder, ac wele lef.
8 ¶ Gwae y rhai sy yn cyssylltu [c] tŷ at
dŷ, *ac* yn cydio maes wrth faes, hyd *oni*
*byddo* eisiau lle, ac y trigoch chwi yn unig
ynghanol y tir.
9 † Lle y clywais *y dywedodd* ARGLWYDD
y lluoedd, ‡ Yn ddïau bydd tai lawer,
mawrion a theg, yn anghyfannedd heb
drigiannydd.
10 Canys deg cyfair o winllan a ddygant
un [d] bath, a lle homer a ddwg ephah.
11 ¶ [e] Gwae y rhai a gyfodant yn fore,
i ddilyn diod gadarn, a arhosant hyd yr
hwyr, *hyd oni* § ennyno y gwin hwynt.
12 Ac yn eu gwleddoedd hwynt y [f] mae 'r
delyn, a'r nabl, y dympan, a'r bibell, a'r
gwin: ond [g] am waith yr ARGLWYDD nid
edrychant, a gweithred ei ddwylaw ef nid
ystyriant.
13 ¶ [h] Am hynny y caeth-gludwyd fy
mhobl, am nad *oes ganddynt* wybodaeth:
a'u || gwŷr anrhydeddus *sydd* newynog, a'u
lliaws a wywodd gan syched.
14 Herwydd hynny 'r ymehangodd uff-
ern, ac yr agorodd ei safn yn anferth; ac
yno y disgyn eu gogoniant, a'u lliaws, a'u
rhwysg, a'r hwn a lawenycha ynddi.
15 [i] A'r gwreng a grymmir, a'r galluog
a ddarostyngir, a llygaid y rhai uchel a
iselir.
16 Ond ARGLWYDD y lluoedd a ddyr-
chefir mewn barn; a'r DUW † sanctaidd a
sancteiddir mewn cyfiawnder.
17 Yr ŵyn hefyd a borant yn ol eu har-
fer; a dieithriaid a fwyttânt ddiffeithfaoedd
y breision.
18 Gwae 'r rhai a dynnant anwiredd â
rheffynnau oferedd, a phechod megis â
rhaffau menn:
19 [k] Y rhai a ddywedant, Brysied, *a*
phrysured ei orchwyl, fel y gwelom;

Cylch 760.
a Psal. 80. 8. Can. 8. 12. Pen. 27. 2. Jer. 2. 21. Mat. 21. 33. Marc 12. 1. Luc 20. 9.
† Heb. ynghorn mab yr olew.
‡ Neu, cauodd.
b Psal. 80. 12.
§ Heb. planhigyn ei hyfrydwch ef.
|| Heb. grammen.
c Michah 2. 2.
† Neu, Hyn sydd yn fy nghlustiau, medd Arg. &c.
‡ Heb. Oni bydd.
d Edrych Ezec. 45. 11.
e Diar. 23. 29, 30. Preg. 10. 16.
§ Neu, erlidio.
f Amos 6. 5, 6.
g Job 34. 27. Psal. 28. 5.
h Hos. 4. 6.
|| Heb. anrhydedd sydd a'r newyn.
i Pen. 2. 9, 11, 17.
† Heb. y Sanctaidd.
k Pen. 66. 5. Jer. 17. 15. Amos 5. 18. 2 Petr 3. 3, 4.

nesâed hefyd, a deued cyngor Sanct yr Is-
rael, fel y gwypom.
20 ¶ Gwae y rhai a ddywedant am y
drwg, Da *yw*; ac am y da, Drwg *yw*; gan
osod tywyllwch am oleuni, a goleuni am
dywyllwch; y rhai a osodant chwerw am
felus, a melus am chwerw.
l Diar. 3. 7. 21 Gwae'r rhai *sydd* [l] ddoethion yn eu
Rhuf. 12. 16. golwg eu hun, a'r rhai deallgar yn eu golwg
eu hun.
22 Gwae'r rhai cryfion i yfed gwin, a'r
dynion nerthol i gymmysgu diod gadarn:
m Diar. 17. 23 Y rhai [m] a gyfiawnhânt yr anwir er
15. a 24. 24. gwobr, ac a gymmerant ymaith gyfiawnder
y rhai cyfiawn oddi ganddynt.
n Exod. 15. 24 Am hynny [n] megis ag yr ysa'r † ffagl
7. dân y sofl, ac y difa'r fflam y mân-us; *felly*
† Heb. *tafod tân.* [o] y bydd eu gwreiddyn hwynt yn bydredd,
o Job 18. a'u blodeuyn a gyfyd i fynu fel llwch; am
16. iddynt ddiystyru cyfraith ARGLWYDD y
Amos 2. 9. lluoedd, a dirmygu gair Sanct yr Israel.
25 Am hynny'r ennynodd llid yr AR-
GLWYDD yn erbyn ei bobl, ac yr estyn-
odd efe ei law arnynt, ac a'u tarawodd
p Jer. 4. 24. hwynt; a [p] chrynodd y mynyddoedd, a bu
‡ Neu, *fel tom.* eu celanedd hwynt ‡ yn rhwygedig yng-
q Pen. 9. hanol yr heolydd. [q] Er hyn oll ni ddych-
12, 17, 21. welodd ei lid ef, ond etto *y mae* ei law ef
a 10. 4. wedi ei hestyn allan.
26 ¶ Ac efe a gyfyd faner i'r cenhedloedd
r Pen. 7. o bell, ac [r] a chwibana arnynt hwy o
18. eithaf y ddaear: ac wele, ar frys yn fuan y
deuant.
27 Ni *bydd un* blin na thramgwyddedig
yn eu plith; ni huna'r un, ac ni chwsg: ac
s Dan. 5. [s] ni ddattodir gwregys ei lwynau, ac ni ddry-
6. llir carrai ei esgidiau.
28 Yr hwn *sydd* â'i saethau yn llymion,
a'i holl fwaau yn annelog: carnau ei feirch
ef a gyfrifir fel callestr, a'i olwynion fel
corwynt.
29 Ei ruad *fydd* fel llew; efe a rua fel
cenawon llew: efe a chwyrna hefyd, ac
t Pen. 8. a ymaifl yn yr ysglyfaeth; efe a ddiangc
22. hefyd, ac a'i dwg ymaith yn ddïogel, ac ni
§ Neu, *a phan fo* bydd achubydd.
*goleu, tywyll fydd* 30 Ac efe a rua arnynt y dydd hwnnw,
*yn eu* fel rhuad y môr: os [t] edrychir ar y tir, wele
*dinystr.* dywyllwch, *a* chyfyngder, § a'r goleuni a
dywyllir yn ei nefoedd.

## PEN. VI.

Tach. 26. B. 1 *Esay, mewn gweledigaeth, yn gweled Duw yn ei ogoniant; 5 a chwedi ofni, yn cael ei gadarnhâu i'w gennadwri. 9 Y mae'n dangos gwrthnysigrwydd y bobl, nes eu dinystrio. 13 Y gweddill a fydd cadwedig.*

Cylch 758.
a 2 Bren. YN y flwyddyn [a] y bu farw'r brenhin
15. 7. Uzzïah, [b] y gwelais hefyd yr AR-
b Ioan 12. 41. GLWYDD yn eistedd ar eisteddfa uchel a
c Ezec. 1. 11. dyrchafedig, a'i odre yn llenwi'r deml.
† Heb. *hwn ar hwn.* 2 Y seraphiaid oedd yn sefyll oddi ar
hynny: chwech adain ydoedd i bob un; â
d Dat. 4. 8. dwy y cuddiai ei wyneb, ac [c] â dwy y
‡ Heb. cuddiai ei draed, ac â dwy yr ehedai.
*llonaid yr holl ddaear yw ei* 3 A llefodd † y naill wrth y llall, ac a
*ogoniant.* dywedodd, [d] Sanct, Sanct, Sanct, yw AR-
GLWYDD y lluoedd, ‡ yr holl ddaear sydd
e Exod. 40. 34. lawn o'i ogoniant ef.
1 Bren. 8. 4 A physt y rhiniogau a symmudasant gan
10. lef yr hwn oedd yn llefain, [e] a'r tŷ a lanwyd
f Barn. 6. gan fwg.
22. a 13. 22. 5 ¶ Yna y dywedais, [f] Gwae fi: canys
§ Heb. *torrwyd* § darfu am danaf: o herwydd gwr halog-
*fi ymaith.* edig ei wefusau *ydwyf* fi, ac ym mysg pobl
halogedig o wefusau yr ydwyf yn trigo:
canys fy llygaid a welsant y brenhin, AR-
GLWYDD y lluoedd.
6 Yna yr ehedodd attaf un o'r seraphiaid,
ac yn ei law farwor yn a gymmerasai efe
oddi ar yr allor mewn gefail:
7 Ac [g] a'i rhoes i gyffwrdd â'm genau, g Edrych
ac a ddywedodd, Wele, cyffyrddodd hwn Jer. 1. 9.
â'th wefusau, ac ymadawodd dy anwiredd, a Dan. 10. 16.
glanhawyd dy bechod.
8 Clywais hefyd lef yr ARGLWYDD yn
dywedyd, Pwy a anfonaf? a phwy a â
drosom [h] ni? Yna y dywedais, Wele fi, an- h Gen. 1.
fon fi. 26. a 3. 22. a 11. 7.
9 ¶ Ac efe a ddywedodd, Dos, a dywed
wrth y bobl hyn, [i] Gan glywed clywch, ond i Mat. 13. 14.
na ddeallwch; a chan weled gwelwch, ond Marc 4. 12.
na wybyddwch. Luc 8. 10.
10 Brasâ [k] galon y bobl hyn, a thrym- Ioan 12. 40.
hâ eu clustiau, a chau eu llygaid; [l] rhag Act. 28. 26. Rhuf. 11. 8.
iddynt weled â'u llygaid, a chlywed â'u k Psal. 119.
clustiau, deall â'u calon, a dychwelyd, a'u 70. Pen. 63. 17.
meddyginiaethu. l Jer. 5. 21.
11 Yna y dywedais, Pa hŷd, AR-
GLWYDD? Ac efe a attebodd, Hyd oni
anrheithier y dinasoedd heb drigiannydd,
a'r tai heb ddyn, a gwneuthur y wlad yn
gwbl anghyfannedd,
12 Ac i'r ARGLWYDD bellhâu dynion, a
*bod* ymadawiad mawr ynghanol y wlad.
13 ¶ Ac etto *bydd* ynddi ddegwm, || a *hi* || Neu,
a ddychwel, ac a borir; fel y llwyfen a'r *wedi ei dychwelyd,*
dderwen, y rhai wrth fwrw *eu dail y mae* *a'i phori.*
† sylwedd ynddynt: *felly* yr had sanctaidd † Neu,
*fydd* ei sylwedd hi. *bon-cyff.*

## PEN. VII.

1 *Ahaz, pan oedd ofn Resin a Phecah yn ei fiino ef, yn cael cysur gan Esay. 10 Ahaz, wedi cael cennad i ddewis argoel, yn ei wrthod; ac yn cael, yn lle arwydd, addewid o Grist. 17 Prophwydo y daw dialedd arno ef o Assyria.* Tach. 26. P. D. Nadolig. P. gw. 10. hyd w. 17.

A Bu yn nyddiau [a] Ahaz fab Jotham, 742.
fab Uzzïah frenhin Judah, ddyfod o a 2 Bren.
Resin brenhin Syria, a Phecah mab Re- 16. 5.
malïah, brenhin Israel, i fynu *tu a* Jerusa- 2 Chron. 28. 5.
lem, i ryfela arni: ond ni allodd ei gorch-
fygu.
2 A mynegwyd i dŷ Ddafydd, gan ddy-
wedyd, Syria a † gyd-syniodd ag Ephraim. † Neu,
A'i galon ef a gyffrôdd, a chalon ei bobl, *orphwys ar Ephra-*
megis y cynhyrfa preniau y coed o flaen y *im.*
gwynt.
3 Yna y dywedodd yr ARGLWYDD wrth
Esay, Dos allan yr awr hon i gyfarfod Ahaz,
ti a ‡ Sear-jasub dy fab, wrth ymyl [b] pis- ‡ Sef,
tyll y llyn uchaf, § ym mhrif-ffordd maes y *y gweddill a*
pannwr: *ddychwel.*
4 A dywed wrtho, Ymgadw, a bydd Edrych
lonydd; nac ofna, ac na feddalhâed dy Pen. 6. 13.
galon, rhag dwy gloren y pentewynion a 10. 21.
myglyd hyn, rhag an-gerdd llid Resin, a b 2 Bren. 18. 17.
Syria, a mab Remalïah: Pen. 36. 2.
5 Canys Syria, ac Ephraim, a mab Re- § Neu,
malïah, a ymgynghorodd gyngor drwg yn *yn sarn.*
dy erbyn, gan ddywedyd,
6 Esgynwn yn erbyn Judah, a || blinwn || Neu,
hi, torrwn hi hefyd attom, a gosodwn fren- *deffrown.*
hin yn ei chanol hi; *sef* mab Tabeal.
7 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
DDUW; Ni saif, ac ni bydd *hyn*.
8 Canys pen Syria *yw* Damascus, a phen
Damascus yw Resin; ac o fewn pum
mlynedd a thri ugain y torrir Ephraim
rhag bod yn bobl.

9 Hefyd pen Ephraim yw Samaria, a phen
c Edrych 2 Chron. 20. 20. Samaria yw mab Remaliah. c † Oni chred-
wch, diau ni sicrhëir chwi.
† Neu, *Oni chredwch? am nad ych sicrhâu yd y mae.* 10 ¶ A'r ARGLWYDD a 'chwanegodd
lefaru wrth Ahaz, gan ddywedyd,
11 Gofyn it' arwydd gan yr ARGLWYDD
dy DDUW; gofyn o'r dyfnder, neu o'r
uchelder oddi arnodd.
12 Ond Ahaz a ddywedodd, Ni ofynaf, ac
ni themtiaf yr ARGLWYDD.
13 A dywedodd yntau, Gwrandêwch yr
awr hon, tŷ Ddafydd; Ai bychan gennych
flino dynion, oni flinoch hefyd fy NUW?
14 Am hynny yr ARGLWYDD ei hun a
d Mat. 1. 23. ddyry i chwi arwydd; d Wele, morwyn a
Luc 1. 31. fydd feichiog, ac a esgor ar e fab, ‡ ac a
e Pen. 9. 6. eilw ei enw ef, Immanuel.
‡ Neu, *a thi, forwyn, a elwi.* 15 Ymenyn a mel a fwytty efe; fel y
medro ymwrthod â'r drwg, ac ethol y da.
16 f Canys cyn medru o'r bachgen ym-
Edrych Gen. 4. 1, 25. a 16. 11. a 29. 32. a 30. 6, 8. wrthod â'r drwg, ac ethol y da, y gwrthodir
y wlad a ffieiddiaist, gan g ei dau frenhin.
17 ¶ Yr ARGLWYDD a ddwg arnat ti,
ac ar dy bobl, ac ar dŷ dy dadau, ddyddiau
1 Sam. 4. 21. ni ddaethant er y dydd h yr ymadawodd
Ephraim oddi wrth Judah, *sef* brenhin As-
f Edrych Pen. 8. 4. syria.
18 A bydd yn y dydd hwnnw, i'r AR-
g 2 Bren. 15. 30. a 16. 9. GLWYDD i chwibanu am y gwybedyn *sydd*
yn eithaf afonydd yr Aipht, ac am y wen-
h 1 Bren. 12. 16. hynen *sydd* yn nhir Assyria:
19 A hwy a ddeuant, ac a orphwysant oll
i Pen. 5. 26. yn y dyffrynoedd anghyfanneddol, ac yng-
hromlechydd y creigiau, ac yn yr ysbyddaid
oll, ac yn y perthi oll.
20 Yn y dydd hwnnw yr eillia'r Ar-
k 2 Bren. 16. 7, 8. glwydd â'r k ellyn a gyflogir, *sef* â'r rhai o'r
Edrych tu hwnt i'r afon, *sef* â brenhin Assyria, y pen,
Ezec. 5. 1. a blew'r traed; a'r farf hefyd a ddifa efe.
21 A bydd yn y dydd hwnnw, i wr fagu
anneir-fuwch, a dwy ddafad.
22 Bydd hefyd o amlder y llaeth a rodd-
ant, iddo fwytta ymenyn: canys ymenyn a
§ Heb. *ynghanol y tir.* mel a fwytty pawb a adewir § o fewn y
tir.
23 A bydd y dydd hwnnw, fod pob lle
yr hwn y bu ynddo fil o winwŷdd *er* mil o
arian *bathol*, yn fieri ac yn ddrain y bydd.
24 A saethau ac â bwaau y daw yno:
canys yn fieri ac yn ddrain y bydd yr holl
wlad.
25 Eithr yr holl fynyddoedd y rhai a
geibir â cheibiau, ni ddaw yno ofn mieri na
drain: ond bydd yn hebryngfa gwartheg, ac
yn sathrfa defaid.

PEN. VIII.

Tach. 27. B. 1 *Ym Maher-salal-has-baz y mae efe yn pro-*
*phwydo y darostyngir Syria ac Israel gan*
*Assyria; 5 a Judah hefyd am eu hanffydd-*
*londeb: 9 na's gellir gwrthwynebu barn-*
*edigaeth Duw: 11 y bydd cysur i'r rhai*
Cylch 742. *a ofno Dduw. 19 Trallod blin ar ddelw-*
*addolwŷr.*

a Hab. 2. 2. A'R ARGLWYDD a ddywedodd wrthyf,
† Brysia i'r yspail, prysura i'r anrhaith. Cymmer it' rôl fawr, a a 'sgrifena
arni â phin dyn, am † Maher-salal-has-
baz.
2 A chymmerais yn dystiolaeth i mi dy-
b 2 Bren. 16. 10. stion ffyddlon, b Urïah yr offeiriad, a Ze-
charïah fab Jeberechïah.
‡ Brysia i'r yspail, prysura i'r anrhaith. 3 A mi a neseais at y brophwydes; a
hi a feichiogodd, ac a esgorodd ar fab.
Yna y dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf,
Galw ei enw ef, ‡ Maher-salal-has-baz.
c Edrych Pen. 7. 16. 4 c Canys cyn y medro'r bachgen alw,
Fy nhad, neu, Fy mam, d § golud Damascus d 2 Bren. 15. 29. a 16. 9.
ac yspail Samaria a ddygir ymaith o flaen
brenhin Assyria. Pen. 17. 3.
5 ¶ A 'chwanegodd yr ARGLWYDD le- § Neu, *yr hwn sydd o flaen brenhin Assyria a ddwg ymaith olud Damascus, &c.*
faru wrthyf drachefn, gan ddywedyd,
6 O herwydd i'r bobl hyn wrthod dy-
froedd Siloah, y rhai sy'n cerdded yn araf,
*a chymmeryd* llawenydd o Resin, a mab
Remaliah:
7 Am hynny, wele, mae'r Arglwydd yn
dwyn arnynt ddyfroedd yr afon, yn gryfion
ac yn fawrion, *sef* brenhin Assyria, a'i holl
ogoniant; ac efe a esgyn ar ei holl afonydd,
ac ar ei holl geulennydd ef.
8 Ie, trwy Judah y treiddia efe: efe a lifa,
ac a â drosodd, e efe a gyrraedd hyd y e Pen. 30. 28.
gwddf; ac estyniad ei adenydd ef fydd
llonaid lled dy dir di, O f Immanuel. f Pen. 7. 14.
9 ¶ Ymgyfeillechwch, bobloedd, || a chwi
a ddryllir: gwrandêwch, holl belledigion y || Neu, *ctto.*
gwledydd; ymwregyswch, a chwi a ddry-
llir; ymwregyswch, a chwi a ddryllir.
10 Ymgynghorwch gyngor, ac fe a ddi-
ddymmir; dywedwch y gair, ac ni saif:
canys *y mae* DUW gyd â ni.
11 ¶ Canys fel hyn y dywedodd yr AR-
GLWYDD wrthyf † â llaw gref, ac efe a'm † Heb. *â chryfder llaw.*
dysgodd na rodiwn yn ffordd y bobl hyn,
gan ddywedyd,
12 Na ddywedwch, Cyd-fwriad, wrth y
rhai oll y dywedo y bobl hyn, Cyd-fwriad:
nac ofnwch chwaith eu hofn hwynt, ac na
arswydwch.
13 ARGLWYDD y lluoedd ei hun a sanct-
eiddiwch; a *bydded* efe yn ofn i chwi, a
*bydded* efe yn arswyd i chwi:
14 Ac g efe a fydd yn noddfa; h ond yn Cylch
faen tramgwydd ac yn graig rhwystr i ddau 741.
dŷ Israel, yn fagl ac yn rhwyd i breswyl- g Ezec. 11. 16.
wŷr Jerusalem.
15 A llawer yn eu mysg i a dramgwydd- h Pen. 28. 16.
ant, ac a syrthiant, ac a ddryllir, ac a rwy- Luc 2. 34.
dir, ac a ddelir. Rhuf. 9. 33.
16 Rhwym y dystiolaeth, selia'r gyfraith 1 Petr 2. 8.
ym mhlith fy nisgyblion. i Mat. 21. 44.
17 A minnau a ddisgwyliaf am yr AR- Luc 20. 18.
GLWYDD sydd yn cuddio ei wyneb oddi
wrth dŷ Jacob, ac a wyliaf am dano.
18 k Wele fi a'r plant a roddes yr AR- k Heb. 2. 13.
GLWYDD i mi, l yn arwyddion ac yn rhy-
feddodau yn Israel; oddi wrth ARGLWYDD l Psal. 71. 7.
y lluoedd, yr hwn sydd yn trigo ym mynydd Zech. 3. 8.
Sïon.
19 ¶ A phan ddywedant wrthych, Ym-
ofynwch â'r swynyddion, ac â'r dewiniaid,
m y rhai sy'n hustyng, ac yn sibrwd: onid m Pen. 29. 4.
â'u Duw'r ymofyn pobl? dros y byw at y
meirw?
20 n At y gyfraith, ac at y dystiolaeth: n Luc 16. 29.
oni ddywedant yn ol y gair hwn, *hynny sydd*
am o nad *oes* ‡ oleuni ynddynt. o Michah 3. 6.
21 A hwy a dramwyant trwyddi, yn ga-
led arnynt ac yn newynog: a bydd pan ‡ Heb. *wawr.*
newynont, yr ymddigiant, ac y melldithiant
eu brenhin a'u Duw, ac a edrychant i
fynu.
22 p A hwy a edrychant ar y ddaear; p Pen. 5. 30.
ac wele, drallod a thywyllwch, niwl cy-
fyngder: a *byddant* wedi eu gwthio i dy-
wyllwch.

PEN. IX.

1 *Pa lawenydd a fydd ynghanol blinderau,* Tach. 27. P.
*trwy frenhiniaeth a genedigaeth Crist.* D. Nadolig, B.
*8 Barnedigaethau yn erbyn Israel, am eu*
*balchder, 13 am eu rhagrith, 18 ac am eu* hyd w. 8.
*hanedifeirwch.*

Cylch 740.

ETTO ni *bydd* y tywyllwch yn ol yr hyn *a fu* yn y gofid; megis yn yr amser cyntaf y cyffyrddodd yn ysgafn â thir Zabulon a thir Naphtali, ac wedi hynny yn ddwysach y cystuddiodd *hi* wrth ffordd y môr, tu hwnt i'r Iorddonen, yn Galilee † y cenhedloedd.

† Neu, *boblog.*

2 [a] Y bobl a rodiasant mewn tywyllwch, a welsant oleuni mawr: y rhai sydd yn aros yn nhir cysgod angau, y llewyrchodd goleuni arnynt.

a Mat. 4. 16. Eph. 5. 14.

3 Amlheaist y genhedlaeth, ‡ ni 'chwanegaist lawenydd; llawenychasant ger dy fron megis y llawenydd amser cynhauaf, *ac* megis y llawenychant wrth rannu yspail.

‡ Neu, *iddi y chwan.* &c.

4 § Canys drylliaist iau ei faich ef, a ffon ei ysgwydd ef, gwïalen ei orthrymmwr, megis yn nydd [b] Midian.

§ Neu, *Pan ddryllaist.*

b Barn. 7. 22. Psal. 83. 9. Pen. 10. 26.

5 ‖ Canys pob cad y rhyfelwr sydd mewn trwst, a dillad wedi eu trybaeddu mewn gwaed; † ond bydd *hwn* trwy losgiad ‡ *a* chynnud tân.

‖ Neu, *Pan oedd holl gâd y rhyfelwr mewn,* &c.

† Neu, *a bu.*

‡ Heb. *ac ymborth.*

6 Canys [c] bachgen a aned i ni, [d] mab a roddwyd i ni, a bydd y llywodraeth ar ei ysgwydd ef: a gelwir ei enw ef, [e] Rhyfeddol, Cynghorwr, y Duw cadarn, Tad tragywyddoldeb, Tywysog tangnefedd.

c Pen. 7. 14.

d Ioan 3. 16.

e Barn. 13. 18.

7 Ar helaethrwydd *ei* lywodraeth a'i dangnefedd [f] ni *bydd* diwedd, ar orseddfa Dafydd, ac ar ei frenhiniaeth ef, i'w threfnu hi, ac i'w chadarnhâu â barn ac â chyfiawnder, o'r pryd hyn, a hyd byth. [g] Zel ARGLWYDD y lluoedd a wna hyn.

f Luc 1. 32, 33.

g 2 Bren. 19. 31. Pen. 37. 32.

8 ¶ Yr Arglwydd a anfonodd air i Jacob; ac efe a syrthiodd ar Israel.

9 A'r holl bobl a wybydd, *sef* Ephraim a thrigiannydd Samaria, y rhai a ddywedant mewn balchder, ac mewn mawredd calon,

10 Y priddfeini a syrthiasant, ond â cherrig nadd yr adeiladwn: y sycamorwŷdd a dorrwyd, ond ni a'u newidiwn *yn* gedrwŷdd.

11 Am hynny 'r ARGLWYDD a ddyrchafa wrthwynebwŷr Resin yn ei erbyn ef, ac a § gyssyllta ei elynion ef ynghŷd;

§ Heb. *gymmysga.*

12 Y Syriaid o'r blaen, a'r Philistiaid hefyd o'r ol: a hwy a ysant Israel yn safnrhwth. [h] Er hyn i gyd ni ddychwelodd ei lid ef, ond etto *y mae* ei law ef yn estynedig.

h Pen. 5. 25. a 10. 4.

13 ¶ [i] A'r bobl ni ddychwelant at yr hwn a'u tarawodd, ac ni cheisiant ARGLWYDD y lluoedd.

i Jer. 5. 3.

14 Am hynny y tyr yr ARGLWYDD oddi wrth Israel ben a chynffon, caingen a brwynen, yn yr un dydd.

15 Yr henwr a'r anrhydeddus *yw*'r pen: a'r prophwyd sydd yn dysgu celwydd, efe *yw*'r gynffon.

16 Canys [k] ‖ cyfarwyddwŷr y bobl hyn sy'n peri *iddynt* gyfeiliorni; a llyngcwyd y *rhai* a † gyfarwyddir ganddynt.

k Pen. 3. 12.

‖ Neu, *bendithwŷr.*

† Neu, *fendithir.*

17 Am hynny nid ymlawenhâ'r ARGLWYDD yn eu gwŷr ieuaingc hwy, ac wrth eu hymddifaid a'u gweddwon *ni* thosturia: canys pob un o honynt *sydd* ragrithiwr a drygionus, a phob genau yn traethu ‡ ynfydrwydd. [l] Er hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, ond etto *y mae* ei law ef yn estynedig.

‡ Neu, *coegni.*

l Adn. 12, 21. Pen. 10. 4.

Cylch 738.

18 ¶ O herwydd anwiredd a lysg fel tân; y mieri a'r drain a ysa efe, ac a gynneu yn nrysni 'r coed; a hwy a ddyrchafant *fel* ymddyrchafiad mwg.

19 Gan ddigofaint ARGLWYDD y lluoedd [m] y tywylla'r ddaear, ac y bydd y bobl fel ymborth tân: nid eiriach neb ei frawd.

m Pen. 8. 22.

20 Ac efe a § gipia ar y llaw ddehau, ac a newyna; bwytty hefyd ar y llaw aswy, ac ni's digonir hwynt: [n] bwyttânt bawb gig ei fraich ei hun:

§ Heb. *tyr.*

n Pen. 49. 26.

21 Manasseh, Ephraim; ac Ephraim, Manasseh: hwythau ynghŷd yn erbyn Judah. [o] Er hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, ond etto *y mae* ei law ef yn estynedig.

o Pen. 5. 25.

## PEN. X.

1 *Gwae'r rhai trawsion.* 5 *Assyria, gwïalen rhagrithwŷr, am ei falchder a dorrir.* 20 *Yr achubir gweddill o Israel.* 24 *Cysuro Israel, trwy addaw iddynt gael eu gwared oddi wrth Assyria.*

Tach. 28. B.

GWAE'r rhai [a] sy'n gwneuthur deddfau anwir, a'r ysgrifenyddion sydd yn ysgrifenu blinder;

Cylch 713.

a Psal. 58. 2. a 94. 20.

2 I ymchwelyd y tlodion oddi wrth farn, ac i ddwyn barn anghenogion fy mhobl: fel y byddo gweddwon yn yspail iddynt, ac yr anrheithiont yr ymddifaid.

3 A [b] pha beth a wnewch yn nydd yr ymweliad, ac yn y distryw a ddaw o bell? at bwy y ffowch am gynhorthwy? a pha le y gadêwch eich gogoniant?

b Job 31. 14.

4 Hebof fi y crymmant dan y carcharorion, a than y rhai a laddwyd y syrthiant. [c] Er hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, ond etto *y mae* ei law ef yn estynedig.

c Pen. 5. 25. a 9. 12, 17, 21.

5 ¶ † Gwae Assur, [d] gwïalen fy llid, a'r ffon yn eu llaw hwynt yw fy nigofaint.

† Neu, *Oh.*

6 At genedl ragrithiol yr anfonaf ef, ac yn erbyn pobl fy nigter y gorchymynaf iddo yspeilio yspail, a 'sglyfaethu ysglyfaeth, a'u gosod hwynt yn sathrfa megis tom yr heolydd.

d Jer. 51. 20.

7 [e] Ond nid felly'r amcana efe, ac nid felly y meddwl ei galon; eithr *y mae* yn ei fryd ddifetha a thorri ymaith genhedloedd nid ychydig.

e Michah 4. 12.

8 [f] Canys efe a ddywed, Onid *yw* fy nhywysogion i gyd yn frenhinoedd?

f 2 Bren. 18. 24, 33. a 19. 10, &c.

9 Onid fel Charchemis *yw* [g] Calno? onid fel Arpad *yw* Hamath? onid fel Damascus *yw* Samaria?

g Amos 6. 2.

10 Megis y cyrhaeddodd fy llaw deyrnasoedd yr eilunod, a'r rhai yr oedd eu delwau cerfiedig yn rhagori ar yr eiddo Jerusalem a Samaria:

11 Onid megis y gwneuthum i Samaria ac i'w heilunod, felly y gwnaf i Jerusalem ac i'w delwau hithau?

12 A bydd pan gyflawno'r Arglwydd ei holl waith [h] ym mynydd Sïon, ac yn Jerusalem, yr ymwelaf â ffrwyth mawredd calon brenhin Assur, ac â gogoniant uchelder ei lygaid ef:

h 2 Bren. 19. 31.

13 Canys dywedodd, Trwy nerth fy llaw y gwneuthum *hyn,* a thrwy fy noethineb; o herwydd doeth ydwyf: ac mi a symmudais derfynau pobloedd, a'u trysorau a yspeiliais, ac a fwriais i'r llawr y trigolion fel ‡ *gwr* grymmus.

‡ Neu, *pobl lawer.*

14 A'm llaw a gafodd gyfoeth y bobloedd fel nŷth; ac megis y cesglir wyau wedi eu gado, y cesglais yr holl ddaear; ac nid oedd a symmudai adain, nac a agorai safn, nac a ynganai.

15 A ymffrostia'r fwyall yn erbyn yr hwn a gymmyno â hi? a ymfawryga'r llif yn erbyn yr hwn a'i tyuno? megis

† pe ymddyrchafai 'r wïalen yn erbyn y rhai a'i codai hi i fynu, *neu* megis pe ‡ ymddyrchafai 'r ffon, *fel pe* na *byddai* yn bren.

16 Am hynny 'r hebrwng yr ARGLWYDD, ARGLWYDD y lluoedd, ym mhlith ei freision ef gulni: a than ei ogoniant ef y llysg llosgiad megis llosgiad tân.

17 A bydd goleuni Israel yn dân, a'i Sanct ef yn fflam: ac efe a llysg, ac a ysa ei ddrain a'i fieri mewn un dydd:

18 Gogoniant ei goed hefyd, a'i ddoldir, a ysa efe, § enaid a chorph: a byddant megis pan lesmeirio banerwr.

19 A phreniau gweddill ei goed *ef* a fyddant o rifedi, fel y rhifo plentyn hwynt.

20 ¶ A bydd yn y dydd hwnnw, na 'chwanega gweddill Israel, a'r rhai a ddiangodd o dŷ Jacob, i ymgynnal mwyach ar yr hwn a'u tarawodd; ond pwysant ar yr ARGLWYDD Sanct Israel mewn gwirionedd.

21 [k] Y gweddill a ddychwel, *sef* gweddill Jacob, at y Duw cadarn.

22 [l] Canys pe byddai dy bobl di Israel fel tywod y môr, gweddill o honynt a ddychwel: [m] darfodiad terfynedig a lifa drosodd *mewn* cyfiawnder.

23 Canys darfodedigaeth, a *honno* yn derfynedig, a wna Arglwydd DDUW 'r lluoedd ynghanol yr holl dir.

24 ¶ Am hynny fel hyn y dywed Arglwydd DDUW 'r lluoedd, Fy mhobl yr hwn a breswyli yn Sïon, nac ofna rhag yr Assyriad: â gwïalen y'th dery di, ac efe a gyfyd ei ffon ‖ i'th erbyn, yn ol ffordd [n] yr Aipht.

25 Canys etto ychydig bach, ac fe a dderfydd y llid, a'm digofaint yn eu dinystr hwy.

26 Ac ARGLWYDD y lluoedd a gyfyd [o] ffrewyll yn ei erbyn ef, megis lladdfa [p] Midian ynghraig Oreb: ac [q] *fel y bu* ei wïalen ar y môr, felly y cyfyd efe hi yn ol ffordd yr Aipht.

27 A bydd yn y dydd hwnnw, [r] y symmudir ei faich ef oddi ar dy ysgwŷdd di, a'i iau ef oddi ar dy war di; a dryllir yr iau, o herwydd yr enneiniad.

28 Daeth at Aiath, tramwyodd i Migron, ym Michmas y rhoddes ei ddodrefn i gadw.

29 Aethant trwy 'r [s] rhŷd, yn Geba y llettyasant: dychrynodd Ramah; [t] Gibeah Saul a ffoes.

30 Bloeddia â'th lef, merch [u] Gàlim: par ei chlywed hyd [x] Laïs, O [y] Anathoth dlawd.

31 Ymbellaodd [z] Madmenah: trigolion Gebim a ymgasglasant i ffoi.

32 Etto 'r dydd hwnnw y saif efe yn [a] Nob; efe a gyfyd ei law *yn erbyn* mynydd merch Sïon, bryn Jerusalem.

33 Wele, yr Arglwydd, ARGLWYDD y lluoedd, yn ysgythru 'r gangen â dychryn: a'r rhai uchel o gyrph a dorrir ymaith, a'r rhai goruchel a ostyngir.

34 Ac efe a dyr ymaith frysglwyni 'r coed â haiarn; a Libanus trwy un cryf a gwymp.

† Neu, *pe'd yr gwïalen y wïalen y rhai*, &c.
‡ Neu, *dyrchafai ffon, yr hwn nid yw bren.*
§ Heb. *o'r enaid hyd y cnawd.*
k Edrych 2 Bren. 16. 7. 2 Chron. 28. 20.
k Pen. 7. 3.
l Rhuf. 9. 27.
m Pen. 28. 22. Dan. 9. 27.
‖ Neu, *trosot.*
n Exod. 14.
o 2 Bren. 19. 35.
p Barn. 7. 25. Pen. 9. 4.
q Exod. 14. 26, 27.
r Pen. 14. 25.
s 1 Sam. 13. 23.
t 1 Sam. 11. 4.
u 1 Sam. 25. 44.
x Barn. 18. 7.
y Jos. 21. 18.
z Jos. 15. 31.
a 1 Sam. 21. 1. Neh. 11. 32.

## PEN. XI.

Tach. 28. P. Y Sulgwyn, P.
Cylch 713.

1 *Heddychol frenhiniaeth y Blaguryn a dardda o wreiddyn Jesse.* 10 *Gorfodus adnewyddiad Israel, a galwedigaeth y cenhedloedd.*

YNA [a] y daw allan wïalen o gyff [b] Jesse; a [c] blaguryn a dyf o'i wraidd ef.

2 Ac yspryd yr ARGLWYDD a orphwys arno ef; yspryd doethineb a deall, yspryd cyngor a chadernid, yspryd gwybodaeth ac ofn yr ARGLWYDD;

3 Ac a wna ei * ddeall ef yn fywiog yn ofn yr ARGLWYDD: ac nid wrth olwg ei lygaid y barn efe, nac wrth glywed ei glustiau y cerydda efe.

4 Ond [d] efe a farn y tlodion mewn cyfiawnder, ac a argyhoedda dros rai llariaidd y ddaear mewn uniondeb: ac efe [e] a dery 'r ddaear â gwïalen ei enau, ac ag anadl ei wefusau y lladd efe 'r anwir.

5 A chyfiawnder fydd gwregys ei lwynau ef, a ffyddlondeb yn wregys ei arennau.

6 [f] A'r blaidd a drig gyd â'r oen, a'r llewpard a orwedd gyd â'r mynn; y llo hefyd, a chenau 'r llew, a'r anifail bras, fyddant ynghŷd, a bachgen bychan a'u harwain.

7 Y fuwch hefyd a'r arth a borant ynghŷd; eu llydnod a *gyd*-orweddant: y llew, fel yr ŷch, a bawr wellt.

8 A'r plentyn sugno a chwery wrth dwll yr asp; ac ar ffau 'r wiber yr estyn yr hwn a ddiddyfnwyd ei law.

9 [g] Ni ddrygant ac ni ddifethant yn holl fynydd fy sancteiddrwydd: canys [h] y ddaear a fydd llawn o wybodaeth yr ARGLWYDD, megis y mae 'r dyfroedd yn toi 'r môr.

10 ¶ Ac yn y dydd hwnnw [i] y bydd gwreiddyn Jesse, yr hwn a saif yn arwydd i'r bobloedd: ag ef yr ymgais y cenhedloedd: a'i orphwysfa *fydd* yn ogoniant.

11 Bydd hefyd yn y dydd hwnnw, i'r Arglwydd fwrw eilwaith ei law i feddiannu gweddill ei bobl, y rhai a weddillir [k] gan Assyria, a chan yr Aipht, a chan Pathros, a chan ‡ Ethiopia, a chan Elam, a chan Sinar, a chan Hamath, a chan ynysoedd y môr.

12 Ac efe a gyfyd faner i'r cenhedloedd, ac a gynnull [l] grwydriaid Israel, ac a gasgl wasgaredigion Judah o bedair § congl y ddaear.

13 [m] Cynfigen Ephraim a ymedy hefyd, a gwrthwynebwŷr Judah a dorrir ymaith: ni chynfigenna Ephraim wrth Judah, ac ni chyfynga Judah ar Ephraim.

14 Ond hwy a ehedant ar ysgwyddau 'r Philistiaid tu a'r gorllewin; ynghŷd yr yspeiliant feibion y dwyrain: ‖ hwy a osodant eu llaw ar Edom a Moab, a meibion Ammon † fydd *mewn* ufudd-dod iddynt.

15 Yr ARGLWYDD hefyd [n] a ddifroda dafod môr yr Aipht, ac â'i wŷnt nerthol efe a gyfyd ei law ar yr afon, ac a'i tery hi yn y saith ffrwd, ac a wna fyned drosodd ‡ yn droedsych.

16 A [o] hi a fydd yn brif-ffordd i weddill ei bobl ef y rhai a adewir o Assyria, [p] megis ag y bu i Israel yn y dydd y daeth efe i fynu o dir yr Aipht.

* Heb. *arogliad.*
d Psal. 72. 2. Dat. 19. 11.
e Job 4. 9. Mal. 4. 6. 2 Thes. 2. 8. Dat. 1. 16.
f Pen. 2. 16. a 19. 15. Pen. 65. 25. Esec. 34. 25. Hos. 2. 18.
g Job 5. 23. Pen. 35. 9.
h Hab. 2. 14.
i Rhuf. 15. 12.
k Zech. 10. 10.
‡ Neu, *Cus.*
l Iago 1. 1.
§ Heb. *asgell.*
m Jer. 3. 18. Esec. 37. 16, 22. Hos. 1. 11.
‖ Heb. *Edom a Moab fydd gosodiad eu dwylaw hwynt.*
† Heb. *eu hufudd-dod hwy.*
n Zech. 10. 11.
‡ Heb. *mewn esgidiau.*
o Pen. 19. 23.
p Exod. 14. 26.

## PEN. XII.

Tach. 29. B.
Cylch 713.

*Llawen ddïolch y ffyddloniaid am drugareddau Duw.*

YNA y dywedi yn y dydd hwnnw, Molaf di, O ARGLWYDD: er it' sorri wrthyf, dychwelir dy lid, a thi a'm cysuri.

2 Wele, DUW yw fy iachawdwriaeth; gobeithiaf, ac nid ofnaf: canys [a] yr ARGLWYDD DDUW yw fy nerth a'm cân; efe hefyd yw fy iachawdwriaeth.

a Exod. 15. 2. Psal. 118. 14.

a Pen. 53. 2. Zech. 6. 12. Dat. 5. 5. b Act. 13. 23. c Pen. 4. 2. Jer. 23. 5.

3 Am hynny mewn llawenydd y tynnwch [b] ddwfr o ffynhonnau iachawdwriaeth.

b Ioan 4. 10, 14. a 7. 37, 38.

4 A chwi a ddywedwch yn y dydd hwnnw, [c] Molwch yr ARGLWYDD, † gelwch ar ei enw, hyspyswch ei weithredoedd ef ym mhlith y bobloedd, cofiwch mai dyrchafedig yw ei enw ef.

c 1 Chron. 16. 8. Psal. 105. 1. † Neu, *cyhoeddwch ei enw.*

5 Cenwch i'r ARGLWYDD; canys godidowgrwydd a wnaeth efe: hyspys *yw* hyn yn yr holl dir.

6 [d] Bloeddia a chroch-lefa, preswylferch Sïon; canys mawr *yw* Sanct Israel o'th fewn di.

d Pen. 54. 1. Seph. 3. 14.

## PEN. XIII.

Tach. 29. P.

1 *Duw yn byddino lluoedd ei ddigofaint:* 6 *yn bygwth distrywio Babilon trwy'r Mediaid.* 19 *Difrod Babilon.*

Cylch 712.

[a] BAICH Babilon, yr hwn a welodd Esay mab Amos.

a Pen. 21. 1. a 47. 1. Jer. 50, a 51.

2 [b] Dyrchefwch faner ar y mynydd uchel, dyrchefwch lef attynt, ysgydwch law, fel yr elont i fewn pyrth y pendefigion.

b Pen. 18. 3.

3 Myfi a orchymynais i'm rhai sanctaidd; gelwais hefyd fy nghedyrn i'm digter, y rhai a ymhyfrydant yn fy nyrchafiad.

4 Llef tyrfa yn y mynyddoedd, † yn gyffelyb i bobl lawer; swn twrf teyrnasoedd y cenhedloedd wedi ymgynnull: ARGLWYDD y lluoedd sydd yn cyfrif llu y rhyfel.

† Heb. *cyffelyb-rwydd pobl.*

5 Dyfod y maent o wlad bell, o eithaf y nefoedd; *sef* yr ARGLWYDD ac arfau ei lidiowgrwydd, i ddifa 'r holl dir.

6 ¶ Udwch; canys agos *yw* diwrnod yr ARGLWYDD; [c] megis anrhaith oddi wrth yr Hollalluog y daw.

c Job 31. 23. Joel 1. 15.

7 Am hynny 'r holl ddwylaw a ‡ laesa; a chalon pob dyn a dawdd.

‡ Neu, *gwympa.*

8 A hwy a ofnant; gwewyr a doluriau a'u deil hwynt; megis *gwraig* yn esgor yr ymofidiant; pawb wrth ei § gyfaill a ryfedda; eu hwynebau *fyddant* wynebau fflamllyd.

§ Neu, *gilydd.*

9 Wele ddydd yr ARGLWYDD yn dyfod, yn greulon â digofaint a digter llidiog, i osod y wlad yn ddiffaethwch; a'i phechaduriaid a ddifa efe allan o honi.

10 Canys ser y nefoedd, a'u planedau, ni roddant eu llewyrch: yr haul [d] a dywyllir yn ei godiad, a'r lloer ni oleua â'i llewyrch.

d Ezec. 32. 7. Joel 2. 31. a 3. 15. Mat. 24. 29. Marc 13. 24. Luc 21. 25.

11 A mi a ymwelaf â'r byd *am ei* ddrygioni, ac â'r annuwiolion *am* eu hanwiredd: a gwnaf i falchder y rhai rhyfygus beidio; gostyngaf hefyd uchder y rhai ofnadwy.

12 Gwnaf ddyn yn werthfawroccach nag aur coeth; ie dyn na chŷn o aur Ophir.

13 Am hynny yr ysgydwaf y nefoedd, a'r ddaear a gryn o'i lle, yn nigofaint ARGLWYDD y lluoedd, ac yn nydd llid ei ddigter ef.

14 A hi a fydd megis ewig wedi ei tharfu, ac fel dafad heb neb a'i coleddo; [e] pawb a wynebant at eu pobl eu hun, a phawb i'w gwlad eu hun a ffoant.

e Jer. 50. 16. a 51. 9.

15 Pob un a geffir *ynddi* a drywenir; a phawb a 'chwaneger *atti* a syrth trwy'r cleddyf.

16 Eu plant hefyd [f] a ddryllir o flaen eu llygaid; eu tai a yspeilir, a'u gwragedd a dreisir.

f Psal. 137. 9. Nah. 3. 10.

17 Wele fi [g] yn cyfodi 'r Mediaid yn eu herbyn hwy, y rhai ni roddant fri ar arian; a'r aur nid ymhyfrydant ynddo.

g Pen. 21. 2. Jer. 51. 11.

18 *Eu* bwaau hefyd a ddryllia 'r gwŷr ieuaingc, ac *wrth* ffrwyth bru ni thosturiant: eu llygad nid eiriach y rhai bach.

19 ¶ A Babilon, prydferthwch y teyrnasoedd, gogoniant godidowgrwydd y Caldeaid, fydd megis dinystr Duw [h] ar Sodom a Gomorrah.

h Gen. 19. 24. Deut. 29. 23. Jer. 49. 18. a 50. 40.

20 Ni chyfanneddir hi yn dragywydd, ac ni phreswylir hi o genhedlaeth i genhedlaeth; ac ni phabella'r Arabiad yno, a'r bugeiliaid ni chorlannant yno.

i Pen. 34. 11--15. Dat. 18. 2.

21 Ond [i] ‖ anifeiliaid gwylltion yr anialwch a orweddant yno; a'u tai hwynt a lenwir o † ormesiaid, a ‡ chywion yr estrys a drigant yno, a'r ellyllon a lammant yno:

‖ Heb. *Ziim.* † Heb. *Ochim.* ‡ Heb. *merched.*

22 A'r § cathod a gyd-attebant yn ei gweddw-dai hi, a'r dreigiau yn y palasoedd hyfryd: a'i hamser *sydd* yn agos i ddyfod, a'i dyddiau nid oedir.

§ Heb. *Iim.*

## PEN. XIV.

Rhagf. 1. B.

1 *Duw yn drugarog yn adnewyddu Israel:* 4 *a'u gorfoledd hwythau yn erbyn Babilon.* 24 *Amcan Duw yn erbyn Assyria.* 29 *Bygwth Palestina.*

Cylch 712.

CANYS yr ARGLWYDD a dosturia wrth Jacob, ac [a] a ddethol Israel etto, ac a bair iddynt orphwys yn eu tir eu hunain: a'r dieithr a ymgyssyllta â hwynt, a hwy a lynant wrth dŷ Jacob.

a Zech. 1. 17. a 2. 12.

2 Y bobl hefyd a'u cymmer hwynt, ac a'u dygant i'w lle, a thŷ Israel a'u meddiannant hwynt yn nhir yr ARGLWYDD, yn weision ac yn forwynion: a hwy a gaethiwant y rhai a'u caethiwodd hwythau, ac a lywodraethant ar eu gorthrymwyr.

3 ¶ A bydd, yn y dydd y rhoddo 'r ARGLWYDD lonyddwch i ti oddi wrth dy ofid, ac oddi wrth dy ofn, ac oddi wrth y caethiwed caled y gwasanaethaist ynddo,

4 I ti [b] gymmeryd y ddiareb hon yn erbyn brenhin Babilon, a dywedyd, Pa wedd y peidiodd y gorthrymmwr? *ac* y peidiodd y dref aur?

b Hab. 2. 6.

5 Yr ARGLWYDD a ddrylliodd [c] ffon yr anwiriaid, *a* theyrnwialen y llywiawdwŷr.

c Psal. 125. 3.

6 Yr hwn sydd yn taro 'r bobloedd mewn digllonedd â † phla ‡ gwastadol, yr hwn sydd yn llywodraethu 'r cenhedloedd mewn llidiowgrwydd, a erlidir heb *neb* yn lluddias.

† Neu, *dyrnod.* ‡ Heb. *heb symmud.*

7 Gorphwysodd *a* llonyddodd yr holl ddaear; canasant o lawenydd.

8 [d] Y ffynnidwŷdd hefyd *a* chedrwŷdd Libanus a lawenhasant yn dy erbyn, *gan ddywedyd,* Er pan orweddaist, nid esgynodd cymmynydd i'n herbyn.

d Ezec. 31. 16.

9 [e] § Uffern oddi tanodd a gynhyrfodd o'th achos, i gyfarfod *â thi* wrth dy ddyfodiad: hi a gyfododd y meirw i ti, *sef* holl ‖ dywysogion y ddaear; cyfododd holl frenhinoedd y cenhedloedd o'u gorseddfaoedd.

e Ezec. 32. 21. § Neu, *Y bedd.* ‖ Heb. *fychod mawr.*

10 Y rhai hynny oll a lefarant, ac a ddywedant wrthyt, A wanhawyd tithau fel ninnau? a aethost ti yn gyffelyb i ni?

11 Disgynwyd dy falchder i'r bedd, *a* thrwst dy nablau: tanat y taenir pryf, pryfed hefyd a'th doant.

12 Pa fodd y syrthiaist o'r nefoedd, † Lusiffer, mab y wawr ddydd! *pa fodd* y'th dorrwyd ti i lawr, yr hwn a wanheaist y cenhedloedd!

† Neu, *O y seren ddydd!*

13 Canys ti a ddywedaist yn dy galon, Mi a ddringaf i'r nefoedd; oddi ar ser Duw y dyrchafaf fy ngorseddfa; a mi a



Gg

[f] Psal. 48. 2. eisteddaf ym mynydd y gynnulleidfa, [f] yn
ystlysau 'r gogledd.
14 Dringaf yn uwch nâ'r cymmylau;
tebyg fyddaf i 'r Goruchaf.
15 Er hynny i uffern y'th ddisgynir, i
ystlysau 'r ffos.
16 Y rhai a'th welant a edrychant arnat
yn graff, *ac* a'th ystyriant, *gan ddywedyd*,
Ai dyma 'r gwr a wnaeth i 'r ddaear grynu,
ac a gynhyrfodd deyrnasoedd?
17 A osododd y byd fel anialwch, ac a
ddinystriodd ei ddinasoedd, heb ollwng ei
garcharorion yn rhŷdd tu ag adref?
18 Holl frenhinoedd y cenhedloedd, ïe
hwy oll a orweddasant mewn gogoniant, bob
un yn ei dŷ ei hun:
19 Eithr tydi a fwriwyd allan o'th fedd,
fel cangen ffiaidd, *neu* wisg y lladdedigion,
y rhai a drywanwyd â chleddyf; y rhai a
ddisgynent i gerrig y ffos, fel celain wedi ei
mathru.
20 Ni byddi mewn un bedd â hwynt, o
herwydd dy dir a ddifethaist, *a*'th bobl a
[g] Job 18. 19. Psal. 21. 10. a 37. 28. a 109. 13. leddaist: [g] ni bydd had yr annuwiol enwog
byth.
21 Darperwch laddfa i'w feibion ef, [h] am
anwiredd eu tadau; rhag codi o honynt a
[h] Exod. 20. 5. Mat. 23. 35. goresgyn y tir, a lleuwi wyneb y byd â
dinasoedd.
22 Minnau a gyfodaf yn eu herbyn
hwynt, medd ARGLWYDD y lluoedd, ac a
dorraf allan o Babilon enw a gweddill, a
mab, ac ŵyr, medd yr ARGLWYDD:
[i] Pen. 34. 11. Seph. 2. 14. 23 [i] Ac a'i gosodaf hi yn feddiant i
aderyn y bwn, ac yn byllau dyfroedd;
ysgubaf hi hefyd ag ysgubau distryw, medd
ARGLWYDD y lluoedd.
24 ¶ Tyngodd ARGLWYDD y lluoedd, gan
ddywedyd, Diau megis yr amcenais, felly
y bydd; ac fel y bwriedais, hynny a
saif;
25 Am ddryllio Assur yn fy nhir: canys
[k] Pen. 10. 27. mathraf ef ar fy mynyddoedd; yna [k] y cilia
ei iau ef oddi arnynt, ac y symmudir ef faich
ef oddi ar eu hysgwyddau hwynt.
[l] 2 Chron. 20. 6. Job 9. 12. a 23. 13. Psal. 33. 11. Diar. 19. 21. a 21. 30. Pen. 43. 13. Dan. 4. 31, 35. 26 Dyma 'r cyngor a gymmerwyd am yr
holl ddaear; a dyma 'r llaw a estynwyd ar
yr holl genhedloedd.
27 O herwydd ARGLWYDD y lluoedd
[l] a'i bwriadodd, a phwy a'i diddymma?
ei law ef hefyd a estynwyd, a phwy a'i try
yn ol?
726. 28 Yn y flwyddyn [m] y bu farw brenhin
[m] 2 Bren. 16. 20. Ahaz, y bu y baich hwn.
29 ¶ Palestina, na lawenycha di oll, er
[n] 2 Chron. 26. 6. torri [n] gwialen dy darawydd: o herwydd o
wreiddyn y sarph y daw [o] gwiber allan, a'i
[o] 2 Bren. 18. 8. ffrwyth hi *fydd* sarph danllyd hedegog.
30 A chynblant y tlodion a ymborthant,
† Neu, gymmanfaoedd. a'r rhai anghenus a orweddant mewn dio-
gelwch: a mi a laddaf dy wreiddyn â
newyn, yntau a ladd dy weddill.
[p] Psal. 87. 1, 5. a 102. 16. 31 Uda, borth; gwaedda, ddinas; Pa-
lestina, ti oll a doddwyd: canys mwg sydd
[q] Seph. 3. 12. Zech. 11. 11. yn dyfod o'r gogledd, ac ni *bydd* unig yn ei
† amseroedd nodedig ef.
32 A pha beth a attebir i genhadau y
‡ Neu, tyrch. genedl? [p] seilio o'r ARGLWYDD Sïon,
§ Heb. ynddi. ac [q] y ‡ gobeithia trueiniaid ei bobl ef
§ ynddi.

## PEN. XV.

Rhagf. 1. P. *Tostur gyflwr Moab.*

Cylch 726. [a] BAICH Moab. O herwydd y nos y
dinystriwyd Ar Moab, *ac* y † distawyd
hi; o herwydd y nos y dinystriwyd Cir
Moab, *ac* y distawyd hi.
2 [b] Aeth i fynu i Baïth, ac i Ddibon, i 'r [b] Pen. 16. 12.
uchelfeydd, i wylo: am Nebo, ac am Mede-
ba, yr uda Moab: [c] *bydd* moelni ar eu holl [c] Jer. 47. 5. a 48. 37, 38. Ezec. 7. 18. Edrych Lef. 21. 5.
bennau, *a* phob barf wedi ei heillio.
3 Yn eu heolydd yr ymwregysant â sach-
liain: [d] ar bennau eu tai, ac yn eu heolydd,
yr uda pob un, ‡ gan wylo yn hidl. [d] Jer. 48. 38.
4 Gwaedda, Hesbon hefyd, ac Elealeh:
hyd Jahas y clywir eu llefain hwynt: am ‡ Heb. gan ddisgyn i wylo, neu, gyd ag wylofain.
hynny arfogion Moab a floeddiant, *pob un*
a flina ar ei einioes.
5 [e] Fy nghalon a waedda am Moab, § ei
[f] ffoaduriaid hi *a ant* hyd Soar, *fel* anner [e] Pen. 16. 11. Jer. 47. 31.
deirblwydd; mewn wylofain y dringant hyd
allt Luhith: canys codant waedd ‖ dinystr § Neu, hyd ei therfynau hi, hyd Soar.
*ar hŷd* ffordd Horonaim.
6 O herwydd dyfroedd Nimrim a fyddant
yn anrhaith: canys gwywodd y llysiau,
darfu 'r gwellt; nid oes gwŷrddlesni.
7 Am hynny yr helaethrwydd a gawsant, [f] Jer. 18. 5, 34.
a'r hyn a roisant i gadw, a ddygant i † afon ‖ Heb. torriad.
yr helyg.
8 Canys y gweiddi a amgylchynodd der- † Heb. ddyffryn yr Arabiaid.
fyn Moab, eu hudfa hyd Eglaim, a'u hochain
*hyd* Beer-elim.
9 Canys dyfroedd Dimon a lenwir o waed;
canys gosodaf ychwaneg ar Ddimon, llewod
ar yr hwn a ddiango ym Moab, ac ar weddill
y wlad.

## PEN. XVI.

1 *Annog Moab i ufuddhâu i frenhiniaeth* Rhagf. 2. B.
*Crist.* 6 *Byguth Moab am ei balchder.* 9
*Y prophwyd yn cwynfan drosti.* 12 *Barn-
edigaeth Moab.*

ANFONWCH oen i lywodraethwr y tir, Cylch 726.
† o Sela i'r anialwch, i fynydd merch
Sïon. † Heb. o'r graig.
2 Bydd fel aderyn yn gwibio ‡ wedi ei
fwrw allan o'r nyth; *felly* y bydd merched ‡ Neu, fel nyth wedi ei adael.
Moab *wrth* rydau [a] Arnon.
3 § Ymgynghora, gwna farn, gwna dy
gysgod fel nos ynghanol hanner dydd; [a] Num. 21. 13.
cuddia 'r rhai gwasgaredig, na ddatguddia 'r
crwydrad. § Heb. Dug gyngor.
4 Triged fy ngwasgaredigion gyd â thi,
Moab, bydd di loches iddynt rhag y dinys-
trydd; canys diweddwyd y gorthrymmydd,
yr anrheithiwr a beidiodd, y mathrwŷr a
ddarfuant o'r tir.
5 A [b] gorseddfaingc a ddarperir mewn [b] Dan. 7. 14, 27.
trugaredd; ac arni yr eistedd efe mewn Mich. 4. 7.
gwirionedd, o fewn pabell Dafydd, yn Luc 1. 33.
barnu ac yn ceisio barn, ac yn prysuro
cyfiawnder.
6 ¶ [c] Clywsom am falchder Moab (balch [c] Jer. 48. 29.
iawn *yw*) am ei falchder, a'i draha, a'i Seph. 2. 10.
ddigllonedd: *ond* nid felly *y bydd* ei gel-
wyddau.
7 Am hynny 'r [d] uda Moab am Moab, pob [d] Jer. 48. 20.
un a uda: am sylfeini Cir-hareseth y gridd-
fenwch; yn ddiau hwy a darawyd.
8 Canys [e] ‖ gwinwŷdd Hesbon a wan- [e] Pen. 24. 7.
hasant; *ac am* winwŷdden Sibmah, ar- ‖ meusydd.
glwyddi 'r cenhedloedd a ysgydwasant ei
phêr-winwŷdd hi; hyd Jazer y cyrhaedd-
asant; crwydrasant *ar hŷd* yr anialwch; ei † Neu,
changhennau a † ymestynasant, *ac* a aethant dynnwyd
dros y môr. ymaith.
9 ¶ Am hynny [f] y galaraf ag wylofain [f] Jer. 48. 32.
Jazer, gwinwŷdden Sibmah: dyfrhâf di,
Hesbon, ac Elealeh, â'm dagrau: canys ‡ am.
‡ ar dy ffrwythydd haf, ac § ar dy gyn- § am.
hauaf, y syrthiodd ‖ bloedd. ‖ y floedd.
10 [g] Y llawenydd hefyd a'r gorfoledd a [g] Jer. 48. 33.

[a] Jer. 48. Ezec. 25. 8. Amos 2. 1. † Neu, *torrwyd hi ymaith.*

ddarfu o'r dolydd; ni chenir, ac ni floeddir
yn y gwinllannoedd; ni sathr sathrydd win
yn y gwryfoedd; gwnaethum i'w bloedd
*gynhauaf* beidio.
h Pen. 15. 5. Jer. 48. 36. 11 Am hynny h y rhua fy ymysgaroedd am
Moab fel telyn, a'm perfedd am Cirhares.
i Pen. 15. 2. 12 ¶ A phan weler flino o Moab i ar yr
uchelfan, yna y daw efe i'w gyssegr i wed-
dïo; ond ni thyccia iddo.
13 Dyma 'r gair a lefarodd yr ARGLWYDD
am Moab, er yr amser hwnnw.
14 Ond yn awr y llefarodd yr ARGLWYDD,
k Pen. 21. 16. gan ddywedyd, O fewn tair blynedd, k fel
blynyddoedd gwas cyflog, y dirmygir go-
† Neu, *ac nid llawer.* goniant Moab, a'r holl dyrfa fawr; a'r
gweddill *fydd* ychydig bach † *a* dirym.

## PEN. XVII.

Rhagf. 2. P. 1 *Bygwth Syria, ac Israel. 6 Gweddill a ym-*
*wrthyd â delw-addoliaeth; 9 a'r lleill a*
*gânt ddialedd am eu hannuwioldeb. 12*
*Gwae gelynion Israel.*
Cylch 741. a BAICH Damascus. Wele Ddamascus
wedi ei symmud o *fod* yn ddinas, a
a Jer. 49. 23. Amos 1. 3. Zech. 9. 1. charnedd wedi syrthio a fydd hi.
2 Gwrthodwyd dinasoedd Aroer: i ddïa-
dellau y byddant, y rhai a orweddant, ac
ni *bydd a'u* dychryno.
† Cylch. 740. 3 b A derfydd ymddiffynfa o Ephraim, a
b Pen. 7. 16. a 8. 4. brenhiniaeth o Ddamascus, a gweddill Sy-
ria: fel gogoniant meibion Israel y bydd-
ant, medd ARGLWYDD y lluoedd.
4 Ac ar y dydd hwnnw y bydd i ogoniant
Jacob feinhâu, a brasder ei gig ef a gulhâ.
5 Ac efe a fydd fel pan gasglo'r cyn-
hauafwr ŷd, a medi â'i fraich y tywys-
enau: a bydd fel casglydd tywysenau yn-
glynn Rephaim.
c Pen. 24. 13. 6 ¶ (c Etto ynddo y gadewir lloffion
grawnwin, fel ysgydwad olewŷdden, *sef* dau
*neu* dri o rawn ymlaen y brig, *a* phedwar
*neu* bump yn ei changhennau ffrwythlawn
eithaf, medd ARGLWYDD DDUW Israel.
7 Yn y dydd hwnnw yr edrych dyn at
ei wneuthurwr, a'i lygaid a edrychant ar
Sanct Israel:
8 Ac nid edrych am yr allorau, *y rhai*
*ydynt* waith ei ddwylaw; ïe nid edrych am
yr hyn a wnaeth ei fysedd, na'r llwyni, na'r
† Neu, *haul-ddelwau.* † delwau.)
9 ¶ Yn y dydd hwnnw y bydd eu dinas-
oedd cedyrn fel cangen wrthodedig, a'r
brig, y rhai a adawsant o herwydd meibion
Israel: felly y bydd anghyfannedd-dra.
10 O herwydd anghofio o honot DDUW
dy iachawdwriaeth, ac na chofiaist graig dy
gadernid: am hynny y plenni blanhigion
hyfryd, ac yr impi hwynt â changhennau
dieithr.
11 Y dydd y gwnei i'th blanhigyn dyfu,
a'r bore y gwnei i'th had flodeuo: *ond bydd*
‡ Neu, *wedi ei symmudo ar ddydd etifeddiaeth.* a bydd *dolur gofidus.* y cynhauaf ‡ yn bentwr ar ddydd llesgedd
a dolur gofidus.
12 ¶ Gwae § dyrfa pobloedd lawer, fel
twrf y môr y trystiant; ac i dwrf y bobl-
oedd a drystiant fel swn dyfroedd lawer.
§ Neu, *dwrf.* 13 Fel swn dyfroedd lawer y trystia'r
bobl; a *DUW* a'u cerydda hwynt, a
hwy a ffoant ym mhell, ac d a erlidir
d Psal. 83. 13. Hos. 13. 3. fel peiswyn mynydd o flaen y gwŷnt,
ac fel || peth yn treiglo ym mlaen cor-
|| Neu, *plu'r gweunydd.* wŷnt.
14 Ac wele drallod ar brydnawn, *a*
chyn y bore ni *bydd.* Dyma ran y rhai
a'n hanrheithiant ni, a choelbren y rhai a'n
hyspeiliant ni.

## PEN. XVIII.

1 *Duw, o ofal dros ei bobl, yn addo distrywio* Rhagf. 3. 8.
*yr Ethiopiaid: 7 ac o hynny y daw cyn-*
*nydd i'r eglwys.*
a GWAE'r tir sy'n cysgodi ag adenydd, Cylch
yr hwn *sydd* tu hwnt i afonydd 714.
Ethiopia: a Pen. 20. 4. Ezec. 30. 9. Seph. 2. 12.
2 Yr hwn a hebrwng genhadau hŷd y
môr, ac ar hŷd wyneb y dyfroedd, mewn
llestri brwyn, *gan ddywedyd,* Ewch, gen-
hadon cyflym, at b genhedlaeth wasgaredig b Adn. 7.
ac yspeiliedig, at bobl ofnadwy er pan ydynt † Neu,
ac etto, † cenhedlaeth wedi ei mesur a'i *cenhedlaeth yn*
sathru, yr hon ‡ yr yspeiliodd yr afonydd *mesur ac*
ei thir. *yn sathru.*
3 Holl drigolion y byd, a phreswylwŷr y ‡ Heb.
ddaear, gwelwch pan gyfodo efe faner *ar* *cen. llinyn*
y mynyddoedd, a chlywch pan udgano ag *a llinyn, a mathrad.*
udgorn. ‡ Neu,
4 Canys fel hyn y dywedodd yr AR- *y dirmygodd.*
GLWYDD wrthyf, Byddaf lonydd, a mi a
ystyriaf § yn fy annedd, megis gwres eglur § Neu,
|| ar lysiau, fel niwl gwlith yngwrês cyn- *fy annedle.*
hauaf. || Neu,
5 Canys o flaen cynhauaf, pan fyddo'r *ar ol*
blodeuyn yn berffaith, a'r grawnwin surion *gwlaw.*
yn addfedu yn y blodeuyn: efe a dyrr y
brig â chrymmanau, ac a dynn ymaith *ac*
a dyrr y canghennau.
6 Gadewir hwynt ynghŷd i adar y myny-
ddoedd, ac i anifeiliaid y ddaear: ac arnynt
y bwrw'r adar yr haf, a holl anifeiliaid y
ddaear a auafa arnynt.
7 ¶ Yr amser hwnnw c y dygir rhodd i c Seph. 3. 10.
ARGLWYDD y lluoedd *gan* bobl d wasgare- Edrych
dig ac yspeiliedig, a chan bobl ofnadwy er Psal. 68. 31.
pan ydynt ac etto, cenedl wedi ei mesur a'i a 72. 10.
sathru, yr hon yr yspeiliodd yr afonydd ei Pen. 16. 1.
thir, i le enw ARGLWYDD y lluoedd, *sef* i d Edrych adn. 2.
fynydd Sïon.

## PEN. XIX.

1 *Gwaradwydd yr Aipht. 11 Ynfydrwydd eu* Rhagf. 3. P.
*pendefigion hwy. 18 Galw'r Aipht at yr*
*eglwys. 23 Cyngrair yr Aipht, Assyria, ac*
*Israel.*
a BAICH yr Aipht. Wele'r ARGLWYDD Cylch
b yn marchogaeth ar gwmmwl ysgafn, 714.
ac efe a ddaw i'r Aipht: ac c eilunod yr a Jer. 46. 13.
Aipht a gynhyrfant rhagddo ef, a chalon yr Ezec. 29.
Aipht a dawdd yn ei chanol. a 30.
2 † Gyrraf hefyd yr Aiphtiaid yn erbyn b Psal. 18.
yr Aiphtiaid, a hwy a ymladdant bob un yn 10. a 104. 3.
erbyn ei frawd, a phob un yn erbyn ei gym- c Exod. 12. 12.
mydog; dinas yn erbyn dinas, *a* theyrnas Jer. 43. 12.
yn erbyn teyrnas. † Heb.
3 Ac yspryd yr Aipht a ‡ balla yn ei *Cymmysgaf.*
chanol, a mi a § ddiddymmaf ei chyngor hi: *a* ‡ Heb.
yna 'r ymofynant ag eilunod, ac â swyny- *dy ellir.*
ddion, ac â dewiniaid, ac â brudwŷr. § Heb.
4 Ac mi a gauaf yr Aipht yn llaw ar- *lyngcaf.*
glwydd caled; a brenhin cadarn a lywo-
draetha arnynt, medd yr Arglwydd, AR-
GLWYDD y lluoedd.
5 A'r dyfroedd a ddarfyddant o'r môr,
yr afon hefyd a â yn hesp ac yn sech.
6 A hwy a droant yr afonydd ym mhell;
y ffrydiau ymddiffyn a ddyhysbyddir, ac a
sychant: torrir ymaith *bob* corsen a hesgen.
7 Y papurfrwyn wrth yr afon, ar fin yr
afon, a phob peth a hauwyd wrth yr afon, a
wywa, a chwelir, ac ni bydd *mwy.*
8 Y pysgodwŷr hefyd a dristânt, a'r rhai
oll a fwriant fachau i'r afonydd a alarant:
felly y rhai a daenant rwydau ar hŷd wyneb
y dyfroedd a lesgânt.

9 Gwaradwyddir hefyd y rhai a weithiant [d] feinllin, a'r rhai a wenant † rwydwaith.

[d] 1 Bren. 10. 28. Diar. 7. 16. † Neu, *gwaith gwyn.*

10 A hwy a dorrir yn eu ‡ bwriadau, y rhai oll a wnant argaeau a § physgodlynnau.

‡ Heb. *seiliau.* § Heb. *llynnau i bethau byw.*

11 ¶ Dïau ynfydion *yw* tywysogion [e] Soan; cyngor doethion gynghorwŷr Pharaoh a aeth yn ynfyd: pa fodd y dywedwch wrth Pharaoh, Mab y doethion *ydwyf* fi, mab hen frenhinoedd?

[e] Num. 13. 22.

12 *Mae* hwynt? *mae* dy ddoethion? a mynegant it' yr awr hon, a gwybyddant pa gyngor a gymmerodd ARGLWYDD y lluoedd yn erbyn yr Aipht.

13 Tywysogion Soan a ynfydasant; twyllwyd tywysogion Noph, a ‖ phennaethiaid eu llwythau a hudasant yr Aipht.

‖ Neu, *llywodraethwŷr.* Heb. *chonglau.*

14 Cymmysgodd yr ARGLWYDD ynddi yspryd gwrthnysigrwydd; a hwy a wnaethant i'r Aipht gyfeiliorni yn ei holl waith, fel y cyfeiliorna meddwŷn yn ei chwydfa.

15 Ac ni bydd gwaith i'r Aipht, yr hwn a wnelo'r [f] pen na'r gloren, y gangen na'r frwynen.

[f] Pen. 9. 14.

16 Y dydd hwnnw y bydd yr Aipht [g] fel gwragedd; canys hi a ddychryna, ac a ofna rhag ysgydwad llaw ARGLWYDD y lluoedd, yr hon a ysgydwa efe arni hi.

[g] Jer. 51. 30. Nah. 3. 13.

17 A bydd tir Judah yn arswyd i'r Aipht: pwy bynnag a'i cofia hi, a ofna ynddo ei hun; o herwydd cyngor ARGLWYDD y lluoedd, yr hwn a gymmerodd efe yn ei herbyn hi.

18 ¶ Y dydd hwnnw y bydd pum dinas yn nhir yr Aipht [h] yn llefaru † iaith Canaan, ac yn tyngu i ARGLWYDD y lluoedd: Dinas ‡ distryw y gelwir un.

[h] Seph. 3. 9. † Heb. *gwefus.* ‡ Neu, *Heres*, neu, *yr haul.*

19 Y dydd hwnnw [i] y bydd allor i'r ARGLWYDD ynghanol tir yr Aipht, a cholofn i'r ARGLWYDD ger llaw ei therfyn hi.

[i] Gen. 28. 18. Exod. 24. 4. Jos. 22. 10, 27.

20 [k] Yn arwydd hefyd ac yn dystiolaeth y bydd i ARGLWYDD y lluoedd yn nhir yr Aipht. Canys llefant ar yr ARGLWYDD o herwydd y gorthrymwŷr; ac efe a enfyn iddynt iachawdwr a phennaeth, ac efe a'u gwared hwynt.

[k] Edrych Jos. 4. 20. a 22. 27.

21 A'r ARGLWYDD a adweinir gan yr Aipht; ïe'r Aiphtiaid a adwaenant yr ARGLWYDD yn y dydd hwnnw: [l] gwnant hefyd aberth ac offrwm, ac addunant adduned i'r ARGLWYDD, ac a'i talant.

[l] Mal. 1. 11.

22 Yr ARGLWYDD hefyd a dery'r Aipht; efe a'i tery ac a'*i* hiachâ; hwythau a droant at yr ARGLWYDD, ac efe a'u gwrendy hwynt, ac a'u hiachâ hwynt.

23 ¶ A'r dydd hwnnw [m] y bydd priffordd o'r Aipht i Assyria, ac yr â yr Assyriad i'r Aipht, a'r Aiphtiad i Assyria: a'r Aiphtiaid gyd â'r Assyriaid a wasanaethant.

[m] Pen. 11. 16.

24 Y dydd hwnnw y bydd Israel yn drydydd gyd â'r Aipht, a chyd ag Assyria, *sef* yn fendith o fewn y tir:

25 Yr hwn a fendithia ARGLWYDD y lluoedd, gan ddywedyd, Bendigedig *yw*'r Aipht fy mhobl i, ac Assyria [n] gwaith fy nwylaw, ac Israel fy etifeddiaeth.

[n] Psal. 100. 3. Pen. 9. 23. Eph. 2. 10.

## PEN. XX.

Rhagf. 4. B.

*Arwydd a chysgod yn rhag-arwyddocâu caethiwed yr Aipht ac Ethiopia.*

Cylch 714.

YN y flwyddyn y daeth [a] Tartan i Asdod (pan ddanfonodd Sargon brenhin Assyria ef) ac yr ymladdodd yn erbyn Asdod, ac a'i hennillodd hi;

[a] 2 Bren. 18. 17.

2 Yr amser hwnnw y bu gair yr ARGLWYDD trwy law Esay fab Amos, gan ddywedyd, Dos, a dattod y sach-liain oddi am dy lwynau, a diosg dy esgidiau oddi am dy draed. Ac efe a wnaeth felly, [b] gan rodio'n noeth, ac heb esgidiau.

[b] Mich. 1. 8, 11.

3 Dywedodd yr ARGLWYDD hefyd, Megis y rhodiodd fy ngwas Esay yn noeth ac heb esgidiau dair blynedd *yn* arwydd ac *yn* argoel yn erbyn yr Aipht, ac yn erbyn Ethiopia;

4 Felly yr arwein brenhin Assyria gaethiwed yr Aipht, a chaethglud Ethiopia, *sef* yn llangciau a henafgwŷr, yn noethion ac heb esgidiau, ac [c] yn din-noeth, yn † warth i'r Aipht.

[c] 2 Sam. 10. 4. Jer. 13. 22, 26. † Heb. *noethni.*

5 Brawychant a chywilyddiant o achos Ethiopia eu gobaith hwynt, ac o achos yr Aipht eu gogoniant hwy.

6 A'r dydd hwnnw y dywed preswylwŷr ‡ yr ynys hon, Wele, fel hyn *y mae* ein gobaith ni, lle y ffoisom am gymmorth i'n gwared rhag brenhin Assyria: a pha fodd y diangwn?

‡ Neu, *y wlad.*

## PEN. XXI.

*1 Y prophwyd, wrth gwyno caethiwed ei bobl, mewn gweledigaeth yn gweled cwymp Babilon gan y Mediaid a'r Persiaid. 11 Edom yn gwatwar y prophwyd, a'i hannog i edifarhâu. 13 Amser nodedig adfyd Arabia.*

A hon hefyd.

BAICH anialwch y môr. Fel [a] y mae corwŷnt yn y dehau yn myned trwodd; *felly* y daw o'r anialwch, o wlad ofnadwy.

Cylch 714. [a] Zech. 9. 14.

2 Gweledigaeth galed a fynegwyd i mi. [b] Yr anffyddlon sydd yn anffyddloni, a'r dinystrydd sydd yn dinystrio. Elam, [c] dring; Media, gwarchae; gwnaethum i'w holl riddfan hi ddarfod.

[b] Pen. 33. 1. [c] Pen. 13. 17. Jer. 49. 34.

3 Am hynny y [d] llanwyd fy llwynau o ddolur; gwewyr a'm daliasant fel gwewyr gwraig yn esgor; syrthiais wrth *ei* glywed, brawychais wrth *ei* weled.

[d] Pen. 15. 5. a 16. 11.

4 Cyfeiliornodd fy nghalon, braw a'm dychrynodd; efe a † drodd fy nghyfnos ddymunol yn ddychryn i mi.

† Heb. *osododd.*

5 Parottoa'r bwrdd, gwylia yn y ddisgwylfa, bwytta, ŷf; cyfodwch, dywysogion; enneiniwch y darian.

6 O herwydd fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf, Dos, gosod wyliedydd, myneged yr hyn a welo.

7 Ac efe a welodd gerbyd, *a* dau o wŷr meirch, cerbyd asynod, *a* cherbyd camelod; ac efe a ystyriodd yn ddyfal iawn dros ben.

8 Ac efe a lefodd, ‡ Llew: fy arglwydd, ar [e] y ddisgwylfa yr wyf fi'n sefyll liw dydd yn wastad, ac ar fy nghadwriaeth yr ydwyf yn sefyll bob nos.

‡ Neu, *fel llew.* [e] Hab. 2. 1.

9 Ac wele, yma y mae yn dyfod gerbyd o wŷr, *a* dau o wŷr meirch. Ac efe a attebodd ac a ddywedodd, [f] Syrthiodd, syrthiodd Babilon; a [g] holl ddelwau cerfiedig ei duwiau hi a ddrylliodd efe i lawr.

[f] Jer. 51. 8. Dat. 14. 8. a 18. 2. [g] Pen. 46. 1. Jer. 50. 2. a 51. 44.

10 [h] O fy nyrniad, a § chnwd fy llawr-dyrnu! yr hyn a glywais gan ARGLWYDD y lluoedd, Duw Israel, a fynegais i chwi.

[h] Jer. 51. 33. § Heb. *mab.*

11 ¶ [i] Baich Dumah. Arnaf fi y mae'n galw o Seir, Y gwyliedydd, beth am y nos? y gwyliedydd, beth am y nos?

[i] Jer. 49. 7. Ezec. 35. 2. Obad. 1.

12 Dywedodd y gwyliedydd, Daeth y bore a'r nos hefyd: os ceisiwch, ceisiwch: dychwelwch, deuwch.

[k] Jer. 49. 28.
13 ¶ [k] Baich ar Arabia. Yn y coed yn
Arabia y llettŷwch chwi, fforddolion De-
danim.
† Neu, *Dygasant.*
14 † Dygwch ddyfroedd i gyfarfod â'r
sychedig, trigolion tir Tema, ‡ achubwch
flaen y crwydrus â'i fara.
‡ Neu, *achubasant.*
§ Neu, *rhag ofn.* Heb. *rhag wyneb.*
15 O herwydd rhag cleddyfau y ffoisant,
§ rhag y cleddyf noeth, a rhag y bwa an-
nelog, a rhag trymder rhyfel.
16 O herwydd fel hyn y dywedodd yr
Arglwydd wrthyf fi, Cyn pen blwyddyn,
[l] o fath blwyddyn gwas cyflog, y derfydd
hefyd holl anrhydedd Cedar:
[l] Pen. 16. 14.
|| Heb. *bwaau.*
17 A'r gweddill o rifedi || saethyddion
gwŷr cedyrn meibion Cedar, a leihêir:
canys ARGLWYDD DDUW Israel a'i dy-
wedodd.

## PEN. XXII.

Rhagf. 4. P.
1 *Y prophwyd yn cwyno dyfodiad y Persiaid*
*i Judea:* 8 *yn beio ar eu synwyr ddynol,*
*a'u llawenydd bydol hwy:* 15 *yn pro-*
*phwydo y diswyddid Sebna,* 20 *ac y gosodid*
*Eliacim yn ei le ef; yr hwn oedd arwydd*
*o frenhiniaeth Crist.*

Cylch 712.
BAICH glynn gweledigaeth. Beth *a*
*ddarfu* i ti yn awr, pan ddringaist ti oll
i bennau'r tai?
2 Ti yr hon wyt yn llawn terfysg, yn
ddinas derfysgol, [a] yn ddinas lawen: dy
laddedigion ni laddwyd â chleddyf, na'th
feirw mewn rhyfel.
[a] Pen. 32. 13.
3 Dy holl dywysogion a gyd-ffoisant, gan
*y perchen* bwaau y rhwymwyd hwynt: y
rhai oll a gafwyd ynot a gyd-rwymwyd, *y*
*rhai* a ffoisant o bell.
[b] Jer. 4. 19. a 9. 1.
† Heb. *mi a fyddaf chwerw wrth wylo.*
4 Am hynny y dywedais, [b] Edrychwch
oddi wrthyf; † mi a wylaf yn chwerw, na
lafuriwch fy nghysuro, am ddinystr merch
fy mhobl.
5 O herwydd diwrnod blinder *yw,* a
mathru, a dyrysni, gan Arglwydd DDUW'r
lluoedd, ynglynn gweledigaeth, yn difurio'r
gaer, ac yn gwaeddi i'r mynydd.
6 Elam hefyd a ddug y cawell saethau,
mewn cerbydau dynion *a* gwŷr meirch; Cir
hefyd a ddinoethodd y darian.
‡ Heb. *dewis dy ddyffrynoedd.*
7 A bydd ‡ dy ddyffrynoedd dewisol yn
llawn o gerbydau, a'r gwŷr meirch a ym-
fyddinant § tu a'r porth.
§ Neu, *yn y porth.*
8 ¶ Ac efe a ddinoethodd dô Judah, ac
yn y dydd hwnnw yr edrychaist ar arfog-
aeth [c] tŷ'r goedwig.
[c] 1 Bren. 7. 2. a 10. 17.
9 A [d] gwelsoch rwygiadau dinas Ddafydd,
mai aml oeddynt; a chasglasoch ddyfroedd
y pysgodlyn isaf.
[d] 2 Chron. 32. 4, 5, 30.
10 Rhifasoch hefyd dai Jerusalem, a thyn-
nasoch y tai i lawr i gadarnhâu'r mur.
11 A rhwng y ddau fur y gwnaethoch
lynn i ddyfroedd yr hen bysgodlyn: ond nid
edrychasoch am [e] ei wneuthurwr, nid ysty-
riasoch yr hwn a'i lluniodd ef er ys talm.
[e] Edrych Pen. 37. 26.
12 A'r dydd hwnnw y gwahoddodd Ar-
glwydd DDUW'r lluoedd *rai* i wylofain, ac
i alarnad, ac [f] i foeledd, ac i ymwregysu â
sach-lïain:
[f] Edrych Ezra 9. 3. Pen. 15. 2. Mich. 1. 16.
13 Ac wele lawenydd a gorfoledd, gan
ladd gwartheg, a lladd defaid, gan fwytta
cig, ac yfed gwin: [g] bwyttâwn ac yfwn;
canys y foru, *meddant,* y byddwn feirw.
[g] Pen. 56. 12. Doeth. 2. 6. 1 Cor. 15. 32.
14 A datguddiwyd *hyn* lle y clywais gan
ARGLWYDD y lluoedd, Yn ddiau ni lanhêir
yr anwiredd hyn, hyd oni byddoch feirw,
medd Arglwydd DDUW'r lluoedd.
15 ¶ Fel hyn y dywed Arglwydd DDUW'r
lluoedd, Cerdda, dos at y trysorydd hwn,
*sef* at Sebna, yr hwn *sydd* benteulu, *a*
*dywed,*
16 Beth *sydd* i ti yma? a phwy *sydd* gen-
nyt ti yma, pan || drychaist i ti yma fedd,
† fel yr hwn a drychai ei fedd yn uchel, *ac*
a naddai iddo ei hun drigfa mewn craig?
|| *dorraist.*
† Neu, *O yr hwn, &c.*
17 Wele'r ARGLWYDD ‡ yn dy fudo
di â chaethiwed § tost, a chan wisgo a'th
wisg di.
‡ Neu, *yr hwn a'th orchuddiodd di â gorchudd godidog, a chan wisgo a'th wisgodd di.* Adn. 18, *Gan dreiglo a'th dreigla, &c.*
§ Heb. *gwr.*
18 Gan dreiglo y'th dreigla di, *fel* treiglo
pêl i wlad ehang: yno y byddi farw, ac yno
*y bydd* cerbydau dy ogoniant yn warth i dŷ
dy feistr.
19 Yna y'th yrraf o'th sefyllfa, ac o'th
sefyllfa y dinystria efe di.
20 ¶ Ac yn y dydd hwnnw y galwaf ar
fy ngwas [h] Eliacim fab Hilcïah:
21 A'th wisg di hefyd y gwisgaf ef, ac
â'th wregys di y nerthaf ef; a than ei law
ef y rhoddaf dy lywodraeth di: ac efe a
fydd yn dad i breswylwŷr Jerusalem, ac i
dŷ Judah.
[h] 2 Bren. 18. 18.
22 Rhoddaf hefyd agoriad tŷ Ddafydd
ar ei ysgwydd ef: yna [i] yr egyr efe, ac ni
*bydd* a gauo; ac efe a gau, ac ni *bydd* a
agoro.
[i] Job 12. 14. Dat. 3. 7.
23 A mi a'i sicrhâf ef *fel* [k] hoel mewn
man sicr; ac efe a fydd yn orseddfa gogoni-
ant i dŷ ei dad.
[k] Ezra 9. 8.
24 Ac arno ef y crogant holl ogoniant tŷ
ei dad, hil ac eppil; yr holl fân lestri;
o'r llestri meiliau, hyd yr holl || offer
cerdd.
|| Neu, *lestri costrelau.*
25 Yn y dydd hwnnw, medd ARGLWYDD
y lluoedd, y symmudir yr hoel a hoeliwyd
yn y man sicr, a hi a dorrir, ac a syrth:
torrir hefyd y llwyth *oedd* arni; canys yr
ARGLWYDD a'i dywedodd.

## PEN. XXIII.

1 *Gofidus gwymp Tyrus.* 17 *Eu trwch ddy-*
*chweliad hwy.*
Rhagf. 5. B.

Cylch 715.
[a] BAICH Tyrus. Llongau Tarsis, udwch:
canys anrheithiwyd *hi,* fel nad oes na
thŷ, na chyntedd: o dir Chittim y dat-
guddiwyd iddynt.
[a] Jer. 25. 22. a 47. 4. Ezec. 26, a 27, a 28. Amos 1. 9. Zech. 9. 2, 3.
2 Distêwch drigolion yr ynys, yr hon y
mae marchnadyddion Sidon, y rhai sy'n
tramwy'r môr, yn dy lenwi.
3 Ac wrth ddyfroedd lawer, had Sihor,
cynhauaf yr afon *yw* ei chnwd hi: felly
marchnadfa cenhedloedd yw hi.
4 Cywilyddia, Sidon: canys y môr, *ie*
cryfder y môr, a lefarodd, gan ddywedyd,
Nid ymddygais, ac nid esgorais, ni fagais
wŷr ieuaingc chwaith, *ac ni* feithrinais
forwynion.
5 Megis wrth glywed son am yr Aipht-
iaid, yr ymofidiant wrth glywed son am
Tyrus.
6 Ewch trosodd i Tarsis; udwch, preswyl-
wŷr yr ynys.
7 Ai hon *yw* eich *dinas* lawen chwi, yr
hon *y mae* ei hynafiaeth er y dyddiau gynt?
ei thraed a'i dygant hi i ymdaith † i bell.
† Heb. *o bell.*
8 Pwy a gynghorodd hyn yn erbyn Ty-
rus [b] goronog, yr hon *yr ydoedd* ei march-
nattawŷr yn dywysogion, a'i marsiandwŷr
yn bendefigion y ddaear?
[b] Edrych Ezec. 28. 2, 12.
9 ARGLWYDD y lluoedd a fwriadodd
hyn, i ddifwyno balchder pob gogoniant,
*ac* i ddirmygu holl bendefigion y ddaear.
10 Dos trwy dy wlad fel afon, O ferch
Tarsis: nid *oes* ‡ nerth mwyach.
‡ Heb. *wregys.*
11 Estynodd ei law ar y môr, dychryn-
odd y teyrnasoedd; gorchymynodd yr AR-

GLWYDD † am *ddinas* ‡ y farsiandïaeth,
ddinystrio ei chadernid.
12 Ac efe a ddywedodd, Ni chai orfo-
leddu mwyach, yr orthrymmedig forwyn,
merch Sidon: cyfod, dos i Chittim; yno
chwaith ni bydd llonyddwch.
13 Wele wlad y Caldeaid; nid oedd y bobl
hyn, nes i Assur ei sylfaenu hi i drigolion
yr anialwch: dyrchafasant ei thyrau, cyf-
odasant ei phalasau; *ac* efe a'i tynnodd hi i
lawr.
14 Llongau Tarsis, udwch; canys an-
rheithiwyd eich nerth.
15 A'r dydd hwnnw yr anghofir Tyrus
ddeng mlynedd a thrugain, megis dyddiau
un brenhin: yn mhen y deng mlynedd a
thrugain § y cân Tyrus megis puttain.
16 Cymmer y delyn, amgylchyna 'r ddi-
nas, ti buttain anghofiedig: cân gerdd yn
dda: cân lawer fel y'th gofier.
17 ¶ Ac ym mhen y deng mlynedd a
thrugain yr ARGLWYDD a ymwêl â Thyrus,
a hi a ddychwel at ei helw, ac a butteinia
â holl deyrnasoedd y byd ar wyneb y ddaear.
18 Yna y bydd ei marchnad a'i helw
[c] yn sancteiddrwydd i'r ARGLWYDD: ni
thrysorir ac ni's cedwir: canys eiddo y rhai
a drigant o flaen yr ARGLWYDD fydd ei
marsiandïaeth, i fwytta yn ddigonol, ac yn
ddillad ‖ parhâus.

† Neu, *yn erbyn.* ‡ Heb. *Canaan.* § Heb. *y bydd i Tyrus megis cân puttain.* [c] Zech. 14. 20, 21. ‖ Heb. *hen.*

## PEN. XXIV.

Rhagf. 5. P. Sul 2 o'r Adfent, P.

1 *Tostur farnedigaethau Duw ar y wlad.*
13 *Y llawen gloddfora y gweddill Dduw.*
16 *Y dyrchafu Duw ei deyrnas yn ei farn-edigaethau.*

Cylch 712.

WELE 'r ARGLWYDD yn gwneuthur y
ddaear yn wag, ac yn ei difwyno hi;
canys efe a ddadymchwel ei hwyneb hi, ac
a wasgar ei thrigolion.
2 Yna bydd yr un ffunud i'r bobl ac
i'r [a] † offeiriad, i'r gwas ac i'w feistr, i'r
llaw-forwyn ac i'w meistres, [b] i'r prynydd
ac i'r gwerthydd, i'r hwn a roddo ac i'r
hwn a gymmero echwyn, i'r hwn a gym-
mero lôg ac i'r hwn a dalo lôg iddo.
3 Gan waghâu y gwaghêir, a chan yspeil-
io 'r yspeilir y wlad; canys yr ARGLWYDD
a lefarodd y gair hwn.
4 Galarodd *a* diflannodd y ddaear, llesg-
aodd *a* dadwinodd y byd, dihoenodd ‡ pobl
feilchion y ddaear.
5 [c] Y ddaear hefyd a halogwyd dan ei
phreswylwŷr: canys troseddasant y cyf-
reithiau, newidiasant y deddfau, diddym-
masant y cyfammod tragywyddol.
6 Am hynny melldith a ysodd y tir, a'r
rhai oedd yn trigo ynddo a anrheithiwyd;
am hynny preswylwyr y tir a losgwyd, ac
ychydig ddynion a adawyd.
7 [d] Galarodd y gwin, llesgaodd y win-
wŷdden, y rhai llawen galon oll a riddfan-
asant.
8 Darfu llawenydd [e] y tympanau, peid-
iodd trwst y gorfoleddwŷr, darfu hyfrydwch
y delyn.
9 Nid yfant win dan ganu; chwerw fydd
diod gref i'r rhai a'i hyfant.
10 Drylliwyd y ddinas wagedd; cauwyd
pob tŷ, fel na ddeler i mewn.
11 *Y mae* llefain am win yn yr heolydd;
tywyllodd pob llawenydd, hyfrydwch y tir
a fudodd ymaith.
12 Yn y ddinas y gadawyd anghyfannedd-
rwydd, ag anrhaith hefyd y dryllir y porth.

[a] Hos. 4. 9. † Neu, *tywysog.* [b] Ezec. 7. 12, 13. ‡ Heb. *uchder pobl y ddaear.* [c] Gen. 3. 17. [d] Pen. 17. 8, 9. Joel 1. 10, 12. [e] Jer. 7. 34. a 16. 9. a 25. 10. Ezec. 26. 13. Hos. 2. 11.

13 ¶ Oblegid bydd o fewn y tir, yng-
hanol y bobloedd, [f] megis ysgydwad olew-
wŷdden, *ac* fel grawn lloffa pan ddarfo
cynhaeaf y gwin.
14 Hwy a ddyrchafant eu llef, *ac* a
ganant; o herwydd godidowgrwydd yr AR-
GLWYDD, bloeddiant o'r môr.
15 Am hynny gogoneddwch yr AR-
GLWYDD yn y § dyffrynoedd, enw AR-
GLWYDD DDUW Israel yn ynysoedd y môr.
16 ¶ O ‖ eithafoedd y ddaear y clywsom
ganiadau, *sef* gogoniant i'r cyfiawn. A dy-
wedais, † O fy nghul-ni, O fy nghulni, gwae
fi; y rhai anffyddlon a wnaethant yn an-
ffyddlon, ie gwnaeth yr anffyddlon o'r
fath anffyddlonaf.
17 [g] Dychryn, a ffos, a magl *fydd* arnat
ti, breswylydd y ddaear.
18 A'r hwn a ffŷ rhag trwst y dychryn,
a syrth yn y ffos; a'r hwn a gyfodo o ganol
y ffos, a ddelir yn y fagl: o herwydd [h] ffe-
nestri o'r uchelder a agorwyd, a [i] seiliau 'r
ddaear sydd yn crynu.
19 Gan ddryllio 'r ymddrylliodd y ddaear,
gan rwygo 'r ymrwygodd y ddaear, gan
symmud yr ymsymmudodd y ddaear.
20 Y ddaear [k] gan symmud a ymsymmud
fel meddwyn, ac a ymsigla megis bwth: a'i
chamwedd fydd trwm arni; a hi a syrth, ac
ni chyfyd mwy.
21 Yr amser hwnnw 'r ymwêl yr AR-
GLWYDD â llu 'r uchel, *yr hwn sydd* yn
yr uchelder, ac â brenhinoedd y ddaear ar
y ddaear.
22 A chesglir hwynt ‡ *fel* y cesglir car-
charorion mewn daeardy, a hwy a garcherir
mewn carchar, ac ym mhen llawer o ddydd-
iau § yr ymwelir â hwynt.
23 [l] Yna 'r lleuad a wrida, a'r haul a gy-
wilyddia, pan deyrnaso ARGLWYDD y llu-
oedd ym mynydd Sion ac yn Jerusalem, ac
o flaen ei henuriaid ‖ *mewn* gogoniant.

[f] Pen. 17. 5, 6. § Neu, *glyn.* ‖ Heb. *adain.* † Heb. *Culni i mi, neu, Fy nghyf-rinach i mi.* [g] Jer. 48. 43, 44. Edrych 1 Bren. 19. 17. Amos 5. 19. [h] Gen. 7. 11. [i] Psal. 18. 7. [k] Pen. 19. 14. ‡ Heb. *â chasgliad carcharorion,* &c. § Neu, *y cair hwynt yn ddiffygiol.* [l] Pen. 13. 10. Ezec. 32. 7. Joel 2. 31. a 3. 15. ‖ Neu, *y bydd gogoniant.*

## PEN. XXV.

Rhagf. 6. B. Sul 3 o'r Adfent, B.

1 *Y prophwyd yn moliannu Duw am ei farnedigaethau,* 6 *am ei ddoniau ymwared,* 9 *ac am ei orfoleddus iachawdwriaeth.*

Cylch 712.

O ARGLWYDD, fy NUW *ydwyt;* dyr-
chafaf di, moliannaf dy enw; canys
gwnaethost ryfeddodau: *dy* gynghorion er
ys talm *sydd* wirionedd *a* sicrwydd.
2 Canys gosodaist [a] ddinas yn bentwr, *a*
thref gadarn yn garnedd; palas dieithriaid,
fel na byddo ddinas; nid adeiledir hi byth.
3 Am hynny pobl nerthol a'th ogon-
edda, dinas y cenhedloedd ofnadwy a'th
arswyda:
4 Canys buost nerth i'r tlawd, a cha-
dernid i'r anghenog yn ei gyfyngder, yn
nodded rhag tymmestl, yn gysgod rhag
gwres, pan *oedd* gwŷnt y cedyrn fel tym-
mestl *yn erbyn* mur.
5 Fel gwres mewn sychder y darostyngi
dwrf dieithriaid; *sef* gwres â chysgod
cwmmwl: darostyngir cangen yr ofnadwy.
6 ¶ Ac [b] ARGLWYDD y lluoedd a
wna i'r holl bobloedd yn y mynydd hwn
wledd o basgedigion, gwledd o loyw-win;
*o* basgedigion breision, *a* gloyw-win pur-
edig.
7 Ac efe a † ddifa yn y mynydd hwn
y gorchudd sydd yn gorchuddio 'r holl bobl-
oedd, a'r llen yr hon a daenwyd ar yr holl
genhedloedd.

[a] Pen. 21. 9. a 23. 13. [b] Diar. 9. 2. Mat. 22. 4. † Heb. *lyngc.*

8 Efe [c] a lwngc angau mewn buddugoliaeth; a'r Arglwydd DDUW [d] a sych ymaith ddagrau oddi ar bob wyneb; ac efe a dynn ymaith warthrudd ei bobl oddi ar yr holl ddaear: canys yr ARGLWYDD a'i llefarodd.

[c] 1 Cor. 15. 54. Dat. 20. 14. a 21. 4.
[d] Dat. 7. 17. a 21. 4.

9 ¶ A'r dydd hwnnw y dywedir, Wele, dyma ein DUW ni; gobeithiasom ynddo, ac efe a'n ceidw: dyma'r ARGLWYDD; gobeithiasom ynddo, gorfoleddwn a llawenychwn yn ei iachawdwriaeth ef.

10 Canys llaw'r ARGLWYDD a orphwys yn y mynydd hwn, a Moab a † sethrir tano, ‡ fel sathru gwellt mewn tommen.

† *ddyrnir.*
‡ Neu, *fel dyrnu gwellt ym Madmenah.*

11 Ac efe a estyn ei ddwylaw yn eu canol hwy, fel yr estyn nofiedydd *ei ddwylaw* i nofio; ac efe a ostwng eu balchder hwynt ynghŷd ag yspail eu dwylaw.

12 Felly y gogwydda, y gostwng, *ac* y bwrw efe i lawr hyd y llwch, [e] gadernid uchelder dy gaerau.

[e] Pen. 26. 5.

## PEN. XXVI.

1 *Cân yn annog i hyderu ar Dduw,* 5 *o herwydd ei farnedigaethau,* 12 *a'i ffafr i'w bobl.* 20 *Cyngor i ddisgwyl wrth Dduw.*

Rhagf. 6. P. Sul 3 o'r Adfent, P.

Cylch 712.

Y Dydd hwnnw y cenir y gân hon yn nhir Judah: Dinas gadarn *sydd* i ni; [a] *DUW* a esyd iachawdwriaeth *yn* gaerau ac *yn* rhagfur.

[a] Pen. 60. 18.

2 [b] Agorwch y pyrth, fel y dêl y genedl gyfiawn i mewn, yr hon a geidw wirionedd.

[b] Psal. 118. 19, 20.

3 Ti a gedwi mewn tangnefedd † heddychol yr hwn sydd â'i feddylfryd *arnat ti;* am ei fod yn ymddiried ynot.

† Neu, *heddwch.*

4 Ymddiriedwch yn yr ARGLWYDD byth; o herwydd yn yr ARGLWYDD DDUW *y mae* ‡ cadernid tragywyddol.

‡ Heb. *craig oesoedd.* Deut. 32. 4.

5 ¶ Canys efe a ostwng breswylwŷr yr uchelder; [c] tref uchel a ostwng efe: efe a'i darostwng hi i'r llawr, ac a'i bwrw hi i'r llwch.

[c] Pen. 25. 12. a 32. 19.

6 Troed a'i sathr hi, *sef* traed y trueiniaid, *a* chamrau'r tlodion.

7 Uniondeb *yw* llwybr y cyfiawn; tydi yr uniawn wyt yn pwyso ffordd y cyfiawn.

8 *Ar* [d] lwybr dy farnedigaethau hefyd y'th ddisgwyliasom, ARGLWYDD; dymuniad *ein* henaid *sydd* at dy enw, ac at dy goffadwriaeth.

[d] Pen. 64. 5.

9 [e] A'm henaid y'th ddymunais liw nos; â'm hyspryd hefyd o'm mewn y'th foregeisiaf: canys preswylwŷr y byd a ddysgant gyfiawnder, pan *fyddo* dy farnedigaethau ar y ddaear.

[e] Can. 3. 1.

10 [f] Gwneler cymmwynas i'r annuwiol, *etto* ni ddysg efe gyfiawnder; yn [g] nhir uniondeb y gwna ar gam, ac ni wêl uchelder yr ARGLWYDD.

[f] Preg. 8. 11.
[g] Psal. 143. 10.

11 [h] Ni welant, ARGLWYDD, *pan* ddyrchafer dy law: *eithr* cânt weled, a chywilyddiant am *eu* heiddigedd § *wrth* y bobl; ie tân dy elynion a'u hysa hwynt.

[h] Job 34. 27. Psal. 28. 5. Pen. 5. 12.
§ Neu, *tu ag at dy bobl.*

12 ¶ ARGLWYDD, ti a drefni i ni heddwch: canys ti hefyd a wnaethost ein holl weithredoedd ‖ ynom ni.

‖ *trosom ni.*

13 O ARGLWYDD ein DUW, [i] arglwyddi *eraill* heb dy law di a arglwyddiaethasant arnom ni; yn unig trwot ti y coffäwn dy enw.

[i] 2 Chron. 12. 8.

14 Meirw *ydynt,* ni byddant fyw; ymadawsant, ni chyfodant; am hynny y gofwyaist a difethaist hwynt, dinystriaist hefyd bob coffa am danynt.

15 Ychwanegaist ar y genedl, O ARGLWYDD, ychwanegaist ar y genedl; ti a ogoneddwyd; ti a'i symmudasit ym mhell i holl gyrrau'r ddaear.

16 Mewn adfyd, ARGLWYDD, yr ymwelsant â thi; tywalltasant † weddi *pan oedd* dy gospedigaeth arnynt.

† Neu, *ddirgel ymadrodd,*

17 Fel y gofidia *ac* y gwaedda [k] gwraig feichiog dan ei gwewyr, *pan* fyddo agos i esgor; felly'r oeddym o'th flaen di, ARGLWYDD.

[k] Ioan 16. 21.

18 Beichiogasom, gofidiasom, oeddym fel pe'd esgorem ar wŷnt; ni wnaethom ymwared ar y ddaear, a phreswylwŷr y byd ni syrthiasant.

19 [l] Dy feirw a fyddant byw, *fel* fy nghorph i yr adgyfodant. Deffrôwch, a chenwch, preswylwŷr y llwch: canys dy wlith *sydd fel* gwlith llysiau, a'r ddaear a fwrw y meirw allan.

[l] Ezec. 37. 1, &c.

20 ¶ Tyred, fy mhobl, dos i'th ystafelloedd, a chau dy ddrysau arnat: llecha megis [m] ennyd bach, hyd onid elo'r llid heibio.

[m] Psal. 30. 5. Pen. 54. 7, 8. 2 Cor. 4. 17.

21 Canys wele'r ARGLWYDD [n] yn dyfod allan o'i fangre, i ymweled ag anwiredd preswylwŷr y ddaear: a'r ddaear a ddatguddia ei gwaed, ac ni chuddia mwyach ei lladdedigion.

[n] Mich. 1. 3.

## PEN. XXVII.

1 *Gofal Duw dros ei winllan.* 7 *Y mae rhagor rhwng ei geryddon ef a'i farnedigaethau.* 12 *Eglwys yr Iuddewon a'r Cenhedloedd.*

Rhagf. 7. B.

Cylch 712.

Y Dydd hwnnw 'r ymwêl yr ARGLWYDD â'i gleddyf caled, mawr, a chadarn, â lefiathan y sarph hir-braff, ïe â lefiathan y sarph dorchog: ac efe a ladd [a] y ddraig *sydd* yn y môr.

[a] Pen. 51. 9. Ezec. 29. 3. a 32. 2.

2 Yn y dydd hwnnw [b] cenwch iddi, Gwinllan y gwin coch.

[b] Pen. 5. 1.

3 Myfi'r ARGLWYDD a'i ceidw; ar *bob* moment y dyfrhâf hi: cadwaf hi nos a dydd, rhag *i neb* ei drygu.

4 Nid *oes* llidiowgrwydd ynof: pwy a osodai fieri *a* drain yn fy erbyn mewn rhyfel? myfi a † awn trwyddynt, mi a'u llosgwn hwynt ynghŷd.

† Neu, *gerddwn yn eu herbyn.*

5 Neu ymafled yn fy nerth i, *fel* [c] y gwnelo heddwch â mi, *ac* efe a wna heddwch â mi.

[c] Job 22. 21.

6 Efe a wna i hiliogaeth Jacob wreiddio; Israel a flodeua, ac a flaendardda; a hwy a a lanwant wyneb y byd â chnwd.

7 ¶ A darawodd efe ef ‡ fel y tarawodd y rhai a'i tarawsai ef? a laddwyd ef fel lladdfa ei laddedigion ef?

‡ Heb. *yn ol dyrnod y rhai a darawsai, &c.*

8 [d] Wrth fesur, pan § êl allan, yr ymddadleu ag ef: y mae'n attal ei wŷnt garw ar ddydd dwyreinwŷnt.

[d] Job 23. 6. Jer. 10. 24. a 30. 11. a 46. 28. 1 Cor. 10. 13.
§ Neu, *anfonych ef allan.*

9 Am hynny trwy hyn y glanhêir anwiredd Jacob; a dyma'r holl ffrwyth, tynnu ymaith ei bechod: pan wnelo efe holl gerrig yr allor fel cerrig calch briwedig, ni saif y llwyni na'r ‖ delwau.

‖ Neu, *haul ddelwau.*

10 Etto'r ddinas gadarn *fydd* unig, *a'r* annedd wedi ei adael, a'i wrthod megis yn anialwch: yno y pawr y llo, ac y gorwedd, ac y difa ei blagur hi.

11 Pan wywo ei brig hi, hwy a dorrir: gwragedd a ddaw, *ac* a'i llosgant hi; canys [e] nid pobl ddeallgar *ydynt:* am hynny'r hwn a'u gwnaeth ni thosturia wrthynt, a'r hwn a'u lluniodd ni thrugarhâ wrthynt.

[e] Deut. 32. 28. Pen. 1. 3.

12 ¶ A'r dydd hwnnw y bydd i'r ARGLWYDD ddyrnu, o ffrwd yr afon hyd afon yr Aipht: a chwi meibion Israel a gesglir bob yn un ac un.

13 Ac yn y dydd hwnnw 'r udgenir ag udgorn mawr; yna y daw y rhai ar ddarfod am danynt yn nhir Assyria, a'r rhai a wasgarwyd yn nhir yr Aipht, ac a addolant yr ARGLWYDD yn y mynydd sanctaidd yn Jerusalem.

## PEN. XXVIII.

Rhagf. 7. Y.

1 *Y prophwyd yn bygwth Ephraim am eu balchder a'u meddwdod. 5 Y gweddill a ddyrchefir yn nheyrnas Crist. 7 Y mae'n argyoeddi eu hamryfusedd hwy, 9 a'u drwg athrylith i ddysgu, 15 a'u diofalwch. 16 Addewid o Grist, y sail sicr. 18 Y profir eu diofalwch hwy. 23 Eu hannog hwy i ystyried pwyllog ragluniaeth Duw.*

Cylch 725.

GWAE [a] goron balchder, meddwon Ephraim; yr hwn *y mae* [b] ardderchowgrwydd ei ogoniant yn flodeuyn diflannedig, yr hwn *sydd* ar ben y dyffrynoedd breision, y rhai a † orchfygwyd gan win.

[a] Adn. 3. [b] Adn. 4. † Heb. *dorrwyd.*

2 Wele, un grymmus a nerthol sydd gan yr ARGLWYDD, fel tymmestl cenllysg, *neu* gorwynt dinystriol, fel llifeiriant dyfroedd mawrion yn llifo drosodd, yr hwn a fwrw i lawr â llaw.

3 ‡ Dan draed y sethrir coron balchder, meddwon Ephraim:

‡ Heb. *â thraed.*

4 Ac ardderchowgrwydd ei ogoniant, yr hwn *sydd* ar ben y dyffryn bras, fydd blodeuyn diflannedig, megis ffigysen gynnar cyn yr haf, yr hon *pan* welo 'r hwn a edrycho arni, efe a'i llwngc hi, a hi etto yn ei law.

5 ¶ Yn y dydd hwnnw y bydd ARGLWYDD y lluoedd yn goron ardderchowgrwydd, ac yn goron gogoniant i weddill ei bobl;

6 Ac yn yspryd barn i'r hwn a eisteddo ar farn, ac yn gadernid i'r rhai a ddychwelant y rhyfel i'r porth.

7 ¶ Ac er hynny hwy [c] a gyfeiliornasant trwy win, ac a amryfusasant trwy ddïod gadarn: [d] yr offeiriad a'r prophwyd a gyfeiliornasant trwy ddïod gadarn, difawyd hwy gan win, cyfeiliornasant trwy ddïod gadarn, amryfusasant mewn gweledigaeth, tramgwyddasant *mewn* barn.

[c] Diar. 20. 1. Hos. 4. 11. [d] Pen. 56. 10, 12.

8 Canys y byrddau oll sydd lawn o chwydfa *a* budreddi, heb le *glân.*

9 ¶ I bwy y dysg efe wybodaeth? ac i bwy y par efe ddeall yr hyn a glywo? i'r *rhai* a ddiddyfnwyd oddi wrth laeth, y rhai a dynnwyd oddi wrth y bronnau.

10 Canys § *rhoddir* gorchymyn ar orchymyn, gorchymyn ar orchymyn; llin ar lin, llin ar lin; ychydig yma, *ac* ychydig accw.

§ Neu, *rhoddwyd.*

11 Canys [e] â bloesgni ‖ gwefusau, ac â thafodiaith ddïeithr, y † llefara efe wrth y bobl hyn.

[e] 1 Cor. 14. 21. ‖ Heb. *gwefus.* † Neu, *llefarodd.*

12 Y rhai y dywedodd efe wrthynt, Dyma orphwysdra, gadêwch i'r diffygiol orphwyso, a dyma esmwythder; ond ni fynnent wrando.

13 Eithr gair yr ARGLWYDD oedd iddynt yn orchymyn ar orchymyn, yn orchymyn ar orchymyn; yn llin ar lin, yn llin ar lin; ychydig yma, *ac* ychydig accw; fel yr elent ac y syrthient yn ol, ac y dryllier, ac y magler, ac y dalier hwynt.

14 ¶ Am hynny gwrandêwch air yr ARGLWYDD, ddynion gwatwarus, llywodraethwŷr y bobl hyn, y rhai *sydd* yn Jerusalem.

15 Am i chwi ddywedyd, Gwnaethom ammod ag angau, ac ag uffern y gwnaethom gyngrair; pan ddêl ffrewyll lifeiriol, ni ddaw attom ni: canys gosodasom ein gobaith *ar* gelwydd, a than ffalsder y llechasom.

16 ¶ Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW, [f] Wele fi yn sylfaenu maen yn Sion, maen profedig, *congl*faen gwerthfawr, sylfaen safadwy; ni frysia'r hwn a gredo.

[f] Psal. 118. 22. Mat. 21. 42. Act. 4. 11. Rhuf. 9. 33. a 10. 11. Eph. 2. 20. 1 Petr 2. 6, 7, 8.

17 A mi a osodaf farn wrth linyn, a chyfiawnder wrth bwys; y cenllysg a ysguba [g] noddfa celwydd, a'r dyfroedd a foddant y lloches.

[g] Adn. 15.

18 ¶ A diddymmir eich ammod ag angau, a'ch cyngrair ag uffern ni saif; pan ddêl y ffrewyll lifeiriol, byddwch yn sathrfa iddi.

19 O'r amser y delo, y cymmer chwi: canys daw bob bore, ddydd a nos; a blinder yn unig fydd ‡ i beri deall yr hyn a glywir.

‡ Neu, *pan baro i chwi ddeall addysg.*

20 Canys byrrach yw 'r gwely nag *y galler* ymestyn *ynddo;* a chul yw 'r cwrlid i ymdroi *ynddo.*

21 Canys yr ARGLWYDD a gyfyd megis ym mynydd [h] Perasim, efe a ddigia megis ynglynn [i] Gibeon, i wneuthur ei waith, ei ddïeithr-waith; ac i wneuthur ei weithred, ei ddïeithr-weithred.

[h] 2 Sam. 5. 20. 1 Cor. 14. 11. [i] Jos. 10. 10, 12. 2 Sam. 5. 25. 1 Chron. 14. 16.

22 Ac yn awr na watworwch, rhag cadarnhâu eich rhwymau: canys clywais [k] *fod* darfodedigaeth derfynol oddi wrth ARGLWYDD DDUW 'r lluoedd ar yr holl dir.

[k] Pen. 10. 22, 23.

23 ¶ Clywch, a gwrandêwch fy llais; ystyriwch, a gwrandêwch fy lleferydd.

24 Ydyw yr arddwr yn aredig ar hŷd y dydd i hau? ydyw efe yn agoryd ac yn llyfnu ei dir?

25 Onid wedi iddo lyfnhâu ei wyneb, y taena efe 'r ffacbys, ac y gwasgar y cwmin, ac y bwrw 'r § gwenith ardderchog, a'r haidd nodedig, a'r rhŷg *yn* ei ‖ gyfle?

§ Neu, *gwenith yn y lle pennaf, a'r haidd yn y lle nodedig.* ‖ Heb. *derfyn.*

26 † Canys ei DDUW a'i hyfforddia ef mewn synwyr, *ac* a'i dysg ef.

† Neu, *Ac efe a'i rhwym yn y modd y mae Duw yn ei ddysgu.*

27 Canys nid ag og y dyrnir ffacbys, ac *ni* throir olwyn menn ar gwmin; eithr dyrnir ffacbys â ffon, a chwmin â gwïalen.

28 Yd bara a felir; ond gan ddyrnu ni ddyrn y dyrnwr ef yn wastadol, ac ni ysiga *ef* ag olwyn ei fenn, ac ni's mâl ef â'i wŷr meirch.

29 Hyn hefyd a ddaw oddi wrth ARGLWYDD y lluoedd, *yr hwn* sydd [l] ryfedd yn ei gyngor, *ac* ardderchog yn ei waith.

[l] Jer. 32. 19.

## PEN. XXIX.

Rhagf. 8. B.

1 *Gorthrwm farnedigaeth Duw ar Israel. 7 Na ddigonir ei gelynion hi. 9 Anneallgarwch, 13 a rhagrith yr Iuddewon. 18 Addaw sancteiddio 'r duwiol.*

Cylch 712.

GWAE † Ariel, Ariel, y ddinas y trigodd Dafydd *ynddi:* ychwanegwch flwyddyn at flwyddyn; ‡ lladdant ebyrth.

† Neu, *lew Duw,* Ezec. 43. 15, 16. ‡ Heb. *torrant bennau.*

2 Etto mi a gyfyngaf ar Ariel, a bydd galar, a griddfan; a hi a fydd i mi fel Ariel.

3 A gwersyllaf yn grwn i'th erbyn, ac a warchaeaf i'th erbyn *mewn* gwarch-dwr, ac a gyfodaf wrthglawdd yn dy erbyn.

4 A thi a ostyngir, o'r ddaear y lleferi, ac o'r llwch y bydd isel dy leferydd; dy lais fydd hefyd o'r ddaear fel *llais* swynwr, a'th ymadrodd a hustyng o'r llwch.

5 A thyrfa dy ddïeithriaid fydd fel llwch
[a] Job 21. mân, a thyrfa'r cedyrn [a] fel peiswyn yn
18. Pen. 17. 13. myned heibio; ïe, bydd [b] yn ddisymmwth
[b] Pen. 30. ddïattreg.
13. 6 Oddi wrth ARGLWYDD y lluoedd y
gofwyir trwy daranau, a thrwy ddaear-
gryn a thwrf mawr, *trwy* gorwŷnt, a thym-
mestl, a fflam dân ysol.
7 ¶ Yna y bydd tyrfa'r holl genhedl-
oedd y rhai a ryfelant yn erbyn Ariel, fel
breuddwyd gweledigaeth nos, sef y rhai oll
a ymladdant yn ei herbyn hi a'i hamddi-
ffynfa, ac a warchaeant arni.
8 Ië, bydd megis newynog a freuddwyd-
io, ac wele ef yn bwytta; a phan ddeffrô,
gwag fydd ei enaid: ac megis y sychedig
a freuddwydio, ac wele ef yn yfed; a phan
ddeffrô, wele ef yn ddiffygiol, a'i enaid yn
chwennych *diod*: felly y bydd tyrfa'r holl
genhedloedd a lueddant yn erbyn mynydd
Sïon.
9 ¶ Arefwch, a rhyfeddwch; bloeddiwch,
[c] Edrych a gwaeddwch: [c] meddwasant, ac nid *trwy*
Pen. 28. 7, win; pen-feddwasant, ac nid *trwy* ddïod
8. gadarn.
[d] Rhuf. 11. 10 Canys [d] tywalltodd yr ARGLWYDD
8. arnoch yspryd trymgwsg, ac a gauodd eich
llygaid chwi: eich prophwydi, a'ch pen-
[e] 1 Sam. 9. naethiaid, [e] y gweledyddion, a orchuddiodd
9. efe.
11 A gweledigaeth pob un *o honynt* sydd i
† Neu, chwi fel geiriau † llyfr [f] seliedig, yr hwn *os*
*llythyr.* rhoddant ef at *un* a fedr *ar* lyfr, gan ddy-
[f] Pen. 8. wedyd, Darllen hwn, attolwg: yna y dy-
16. Dat. 5. 1, wed, Ni allaf; canys seliwyd ef.
5. 12 Os rhoddir y llyfr at yr hwn ni fedr *ar*
lyfr, gan ddywedyd, Darllen hwn, attolwg:
yna y dywed, Ni fedraf *ar* lyfr.
13 ¶ Am hynny y dywedodd yr AR-
[g] Ezec. 33. GLWYDD, [g] O herwydd bod y bobl hyn yn
31. Mat. 15. 8. nesâu attaf â'u genau, ac yn fy anrhydeddu
Marc 7. 6. â'u gwefusau, a phellhâu eu calon oddi
wrthyf, a bod eu hofn tu ag attaf fi wedi ei
ddysgu allan o athrawiaeth dynion;
‡ Heb. 14 Am hynny wele fi yn ‡ myned rhagof
*chwanegu.* i wneuthur yn rhyfedd ym mysg y bobl hyn,
[h] Jer. 49. *sef* gwŷrthiau a rhyfeddod: [h] canys difethir
7. Obad. 8. doethineb eu doethion hwynt, a deall eu rhai
1 Cor. 1. deallgar hwynt a ymguddia.
19. 15 [i] Gwae'r rhai a ddyfn-geisiant i gudd-
[i] Pen. 30. io *eu* cyngor oddi wrth yr ARGLWYDD,
1. ac y mae eu gweithredoedd mewn tywyll-
[k] Psal. 94. wch, ac [k] a ddywedant, [l] Pwy a'n gwel ni?
7. a phwy a'n hedwyn?
[l] Eccl. 23. 16 Dïau fel clai crochenydd y cyfrifir
18. eich trofeydd chwi. Canys a ddywed [m] y
[m] Pen. 45. gwaith am y gweithydd, Ni'm gwnaeth i?
9. neu a ddywed y peth a luniwyd am yr hwn
a'i lluniodd, Nid yw ddeallus?
17 Onid ychydig bach *fydd* etto hyd oni
[n] Pen. 32. throir [n] Libanus yn ddol-dir, a'r dol-dir a
15. gyfrifir yn goed?
[o] Pen. 35. 18 ¶ [o] A'r dydd hwnnw y rhai byddar a
5. glywant eiriau'r llyfr, a llygaid y deillion a
welant allan o niwl a thywyllwch.
19 A'r rhai llariaidd a 'chwanegant
lawenychu yn yr ARGLWYDD; a'r dy-
nion tlodion a ymhyfrydant yn Sanct
Israel.
20 Canys darfu am yr ofnadwy, a difeth-
wyd y gwatwarus, a'r rhai oll a wyliant am
anwiredd a dorrir ymaith;
21 Y rhai a wnant ddyn yn droseddwr o
[p] Amos 5. herwydd gair, ac [p] a osodant faglau i'r hwn
10. a geryddo yn y porth, ac a wnant i'r cyfiawn
wyro am beth coeg.

22 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD, yr hwn a waredodd Abraham,
am dŷ Jacob, Weithian ni chywilyddir Ja-
cob, ac ni lasa ei wyneb ef.
23 Eithr pan welo efe ei feibion, [q] gwaith [q] Pen. 19.
fy nwylaw, o'i fewn, hwy a sancteiddiant 23.
fy enw, ïe sancteiddiant Sanct Jacob, ac a Eph. 2. 10.
ofnant DDUW Israel.
24 A'r rhai cyfeiliornus o yspryd a § ddys- § Heb.
gant ddeall, a'r grwgnachwŷr a ddysgant *fedrant.*
addysg.

PEN. XXX.

1 *Y prophwyd yn bygwth y bobl am hyderu ar* Rhagf. 8.
*yr Aipht,* 8 *ac am ddïystyru gair Duw.* P.
18 *Trugareddau Duw i'w eglwys.* 27 *Dig-* Sul 4 o'r
*ofaint Duw, a llawenydd y bobl am ddi-* Adfent, B.
*nystr Assyria.*

GWAE'r meibion cyndyn, medd yr AR- Cylch
GLWYDD, [a] a gymmerant gyngor, ond 713.
nid gennyf fi; ac a orchuddiant â gorchudd, [a] Pen. 29.
ac nid o'm hyspryd i, i'chwanegu pechod ar 15.
bechod:
2 [b] Y rhai sydd yn myned i ddisgyn i'r [b] Pen. 31.
Aipht ([c] heb ymofyn â mi) i ymnerthu yn 1.
nerth Pharaoh, ac i ymddiried ynghysgod yr [c] Num. 27. 21.
Aipht. Jos. 9. 14.
3 Am hynny [d] y bydd nerth Pharaoh yn 1 Bren. 12.
gywilydd i chwi, a'r ymddiried ynghysgod 7. Jer. 21. 2.
yr Aipht yn waradwydd. a 42. 1, 20.
4 Canys bu ei dywysogion yn Soan, a'i [d] Jer. 37.
genhadau a ddaethant i Hanes. 5, 7.
5 [e] Hwynt oll a gywilyddiwyd o he- [e] Jer. 2. 36.
rwydd y bobl ni fuddia iddynt, ni *byddant* yn
gynhorthwy nac yn llesâd, eithr yn warth
ac yn waradwydd.
6 [f] Baich anifeiliaid y dehau. I dir cy- [f] Pen. 57. 9.
studd ac ing, *lle y daw* o honynt yr hen lew Hos. 8. 9.
a'r llew ieuangc, y wiber a'r sarph danllyd a 12. 1.
hedegog, y dygant eu golud ar gefnau asyn-
od, a'u trysorau ar gefnau camelod, at bobl
ni wna les.
7 Canys yn ddiles ac yn ofer y cynnorth-
wya'r Aiphtiaid: am hynny y llefais arni,
[g] Eu nerth hwynt *yw* aros yn llonydd. [g] Pen. 7. 4.
8 ¶ Dos yn awr, [h] ysgrifena hyn mewn Adn. 15.
llech ger eu bron hwynt, a 'sgrifena mewn [h] Hab. 2. 2.
llyfr, fel y byddo hyd y dydd diweddaf yn
oes oesoedd;
9 Mai [i] pobl wrthryfelgar *yw* y rhai hyn, [i] Deut. 32.
plant celwyddog, plant ni fynnant wrando 20.
cyfraith yr ARGLWYDD: Pen. 1. 4.
10 [k] Y rhai a ddywedant wrth y gwel- [k] Jer. 11.
edyddion, Na welwch; ac wrth y pro- 21. Amos 2. 12.
phwydi, Na phrophwydwch i ni bethau a 7. 13.
union; [l] traethwch i ni weniaith, pro- Mich. 2. 6.
phwydwch i ni siommedigaeth: [l] Mich. 2.
11 Ciliwch o'r ffordd, ciliwch o'r llwybr; 11.
perwch i Sanct Israel beidio â ni.
12 Am hynny fel hyn y dywed Sanct
Israel, Am wrthod o honoch y gair hwn, ac
ymddiried o honoch mewn † twyll a cham, a † Neu,
phwyso ar hynny: *trais.*
13 Am hynny y bydd yr anwiredd hyn i
chwi [m] fel rhwygiad chwyddedig mewn [m] Psal. 62.
mur uchel ar syrthio, yr hwn y daw ei 3.
ddrylliad [n] yn ddisymmwth heb attreg. [n] Pen. 29.
14 Canys [o] efe a'i dryllia hi fel dryllio 5.
‡ llestr crochenydd, gan guro heb arbed: [o] Jer. 19.
fel na chaffer ym mysg ei darnau grageu i 11.
gymmeryd tân o'r aelwyd, nac i godi dwfr ‡ Heb.
o'r ffos. *costrel.*
15 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd
DDUW, Sanct Israel, [p] Trwy ddychwelyd [p] Adn. 7.
a gorphwys y byddwch gadwedig; mewn
llonyddwch a gobaith y bydd eich cadernid:
ond ni fynnech

16 Eithr dywedasoch, Nid *felly*; canys
ni a ffown ar feirch; am hynny y ffowch:
a marchogwn ar *feirch* buain; am hynny y
bydd buan y rhai a'ch erlidio.
q Lef. 26. 8. 17 q Mil *a ffŷ* wrth gerydd un; ac wrth
Deut. 28. gerydd pump y ffowch, hyd oni'ch ga-
25. a 32. 30. dawer megis hwylbren ar ben mynydd, ac
fel baner ar fryn.
18 ¶ Ac am hynny y disgwyl yr Ar-
GLWYDD i drugarhâu wrthych, ïe am
hynny'r ymddyrchaif i dosturio wrthych;
canys Duw cyfiawnder *yw*'r ARGLWYDD.
r Psal. 2. r Gwŷn eu byd y rhai oll a ddisgwyliant
12. a 34. 8. wrtho.
Diar. 16. 19 Canys y bobl a drig yn Sïon o fewn
20. Jer. 17. 7. Jerusalem: gan wylo nid wyli; gan dru-
garhâu efe a drugarhâ wrthyt; wrth lef dy
waedd, pan ei clywo, efe a'th atteb di.
s 1 Bren. 20 A'r Arglwydd a rydd i chwi s fara ing,
22. 27. a dwfr gorthrymder; ond ni chornelir dy
athrawon mwy, eithr dy lygaid fyddant yn
gweled dy athrawon:
21 A'th glustiau a glywant air o'th ol yn
dywedyd, Dyma'r ffordd, rhodiwch ynddi,
t Jos. 1. 7. pan t bwysoch ar y llaw ddehau, neu pan
bwysoch ar y llaw aswy.
u Pen. 2. 22 u Yna'r halogwch ball † dy gerf-
20. a 31. 7. ddelw arian, ac ephod dy dawdd-ddelw
† Heb. *gerf-* aur; gwasgeri hwynt fel cadach misglwyf, a
*ddelwau dy* dywedi wrthynt, Dos ymaith.
*arian.* 23 Ac efe a rydd wlaw i'th had pan
hauech dy dir, a bara cnwd y ddaear,
ac efe a fydd yn dew ac yn aml; a'r dydd
hwnnw y pawr dy anifeiliaid mewn porfa
helaeth.
24 Dy ychen hefyd a'th asynod, y rhai a
‡ Neu, *pr'asus.* lafuriant y tir, a borant ebran ‡ pur, yr hwn
Heb. a nithiwyd â gwŷntill ac â gogr.
*lefeiniog.* 25 Bydd hefyd x ar bob mynydd uchel,
x Pen. 2. ac ar bob bryn dyrchafedig, afonydd *a* ffry-
14, 15. dau dyfroedd, yn nydd y lladdfa fawr, pan
syrthio'r tyrau.
26 A bydd llewyrch y lleuad fel llewyrch
yr haul, a llewyrch yr haul fydd saith mwy,
megis llewyrch saith niwrnod, yn y dydd y
rhwyma'r ARGLWYDD friw ei bobl, ac yr
iachao archoll eu dyrnod hwynt.
27 ¶ Wele enw'r ARGLWYDD yn dyfod
§ Neu, o bell, yn llosgi gan ei ddigofaint ef, § a'i
*trymder y* faich *sydd* drwm; ei wefusau a lanwyd o
*ffagl.* ddigter, a'i dafod *sydd* megis tân ysol.
28 Ei anadl hefyd, megis afon lifeiriol,
y Pen. 8. 8. y a gyrraedd hyd hanner y gwddf, i ni-
thio'r cenhedloedd â gogr oferedd; a bydd
z Pen. 37. z ffrwyn yngenau'r bobloedd, yn *eu* gyrru
29. ar gyfeiliorn.
29 Y gân fydd gennych megis y nos-
a Psal. 42. waith a y sancteiddir uchel-wyl; a llawen-
4. ydd calon, megis pan elo un â phibell i
|| Heb. fyned i fynydd yr ARGLWYDD, at || gadarn
*graig Is-* yr Israel.
*rael.* Deut. 32. 4. 30 A'r ARGLWYDD a wna glywed ar-
dderchowgrwydd ei lais, ac a ddengys ddis-
gyniad ei fraich, mewn digter llidiog, ac â
b Pen. 37. fflam dân ysol, â gwasgarfa, ac â thymmestl,
36. ac â cherrig cenllysg.
c Pen. 10. 31 Canys b â llais yr ARGLWYDD y
5, 24. distrywir Assur, c *yr hwn* a darawai â'r
† Heb. wïalen.
*A phob* 32 † A pha le bynnag yr elo'r wïalen
*mynediad* ddïysgog, yr hon a ‡ esyd yr ARGLWYDD
*y wialen,* arno ef, gyd â thympanau a thelynau y
&c. bydd: ac â rhyfel tost yr ymladd efe yn ei
‡ Heb. erbyn.
*bair yr* 33 Canys darparwyd Tophet er doe, ïe
*Argl. iddi orphwys arno.* parottowyd hi i'r brenhin: efe a'i dyfnha-
odd *hi, ac* a'i ehangodd: ei chynneuad *sydd*
dân a choed lawer; anadl yr ARGLWYDD,
megis afon o frwmstan, sydd yn ei hennyn
hi.

## PEN. XXXI.

1 *Y prophwyd yn dangos melldigedig ynfydr-* Rhagf. 9.
*wydd y bobl, yn hyderu ar yr Aipht, ac yn* B.
*ymadael â Duw. 6 Y mae'n annog i edi-*
*farhâu; 8 ac yn dangos cwymp Assyria.*

GWAE'r rhai a a ddisgynant i'r Aipht Cylch
am gynhorthwy, ac b a ymddiriedant 713.
mewn meirch, ac a hyderant ar gerbydau, a Pen. 30.
am *eu bod* yn aml; ac ar wŷr meirch, am 2.
eu bod yn nerthol iawn: ond nid edrychant Ezec. 17.
am Sanct Israel, ac ni cheisiant yr AR- 15.
GLWYDD. b Psal. 20. 7.
2 Etto *y mae* efe yn ddoeth, ac a ddaw
â chospedigaeth, ac ni † eilw ei air yn ol; † Heb.
eithr cyfyd yn erbyn tŷ y rhai drygionus, ac *symmuda*
yn erbyn cynhorthwy y rhai a weithredant *ei air.*
anwiredd.
3 Yr Aiphtiaid hefyd *ydynt* ddynion, ac
nid Duw; a'u meirch yn gnawd, ac nid
yn yspryd. Pan estyno'r ARGLWYDD ei
law, yna y syrth y cynnorthwywr, ac y
cwymp y cynnorthwyedig, a hwynt oll a
gyd-ballant.
4 Canys fel hyn y dywedodd yr AR-
GLWYDD wrthyf, Megis y rhua hen lew
a'r llew ieuangc ar ei 'sglyfaeth, yr hwn
er galw llïaws o fugeiliaid yn ei erbyn, ni
ddychryn rhag eu llef hwynt, ac nid ym- ‡ Neu,
ostwng er eu ‡ twrf hwynt: felly y disgyn *lliaws,*
ARGLWYDD y lluoedd i ryfela dros fynydd neu, *tyrfa.*
Sïon, a thros ei fryn ef. c Deut. 32.
5 c Megis adar yn ehedeg, felly'r ym- 11.
ddiffyn ARGLWYDD y lluoedd Jerusalem; Psal. 91. 4.
d gan ymddiffyn a gwared, gan basio heibio d Psal. 37.
ac achub. 40.
6 ¶ Dychwelwch at yr hwn e y llwyr-gili- e Hos. 9. 9.
odd meibion Israel oddi wrtho. f Pen. 2. 20 a 30. 22.
7 O herwydd yn y dydd hwnnw f gwrth-
odant bob un § ei eilunod arian, a'i eilunod § Heb.
aur, y rhai a wnaeth eich dwylaw eich hun *eilunod*
*yn* bechod i chwi. *ei arian,* &c.
8 ¶ A'r Assyriad a syrth trwy gleddyf, g Edrych
g nid eiddo gwr grymmus; a chleddyf, nid 2 Bren. 19.
eiddo dyn gwael, a'i difa ef: ac efe a ffŷ 35.
|| rhag y cleddyf, a'i wŷr ieuaingc a fyddant || Neu,
dan dreth. *rhag ofn.*
9 † Ac h efe a â i'w graig rhag ofn; a'i † Neu,
dywysogion a ofnant rhag y faner, medd yr *A'i graig*
ARGLWYDD, yr hwn *y mae* ei dân yn Sïon, *a â ymaith rhag ofn.*
a'i ffwrn yn Jerusalem. h Pen. 37. 37.

## PEN. XXXII.

1 *Bendithion teyrnas Crist. 9 Rhag-ddangos* Rhagf. 9. P
*difrod; 15 ac addaw adnewyddiad ar ol* Sul 4 o'r
*hynny.* Adfent, P.

WELE, a brenhin a deyrnasa mewn cy- Cylch
fiawnder, a thywysogion a lywodraeth- 713.
ant mewn barn. a Psal. 45.
2 A gwr fydd megis yn ymguddfa *rhag* y 1, &c.
gwŷnt, ac yn lloches *rhag* y dymmestl; Zech. 9. 9.
megis afonydd dyfroedd mewn sychdir,
megis cysgod craig † fawr mewn tir ‡ sy- † Heb.
chedig. *drom.*
3 Yna b llygaid y rhai a welant ni chauir, ‡ Neu, *blin.*
a chlustiau'r rhai a glywant a wrandawant. b Pen. 35.
4 Calon y rhai ehud hefyd a ddeall wy- 5, 6.
bodaeth, a thafod y rhai bloesg a brysura
lefaru'n § eglur. § Neu, *hyawdl.*
5 Ni elwir mwy y coegddyn yn fon-
heddig, ac ni ddywedir am y cybydd, Hael
*yw.*

6 Canys coegwr a draetha goegni, a'i
galon a wna anwiredd, i ragrithio, ac i drae-
thu amryfusedd yn erbyn yr ARGLWYDD,
i ddiddymmu enaid y newynog; ac efe a
wna i ddiod y sychedig ballu.
7 Artau'r cybydd *sydd* ddrygionus: efe a
ddychymmyg ddichellion i ddifwyno'r true-
iniaid trwy ymadroddion gau; pan draetho
† Neu, *yn erbyn yr anghenus mewn barn.* — † 'r anghenus yr union.
8 Ond yr hael a ddychymmyg haelioni;
ac ar haelioni y ‡ saif efe.
‡ Neu, *sicrheir.* — 9 ¶ Cyfodwch, wragedd diwaith; clywch
fy llais: gwrandêwch fy ymadrodd, ferched
dïofal.
§ *Dyddiau a blynyddoedd lawer.* — 10 § Dyddiau gyd â blwyddyn y trallodir
chwi, wragedd difraw: canys darfu'r cyn-
hauaf gwin, ni ddaw cynnull.
11 Ofnwch, rai difraw; dychrynwch, rai
dïofal: ymddïosgwch, ac ymnoethwch, a
gwregyswch *sach-liain* am eich llwynau.
12 Galarant am y tethau, am y meusydd
hyfryd, am y winwŷdden ffrwythlon.
c Pen. 34. 13. Hos. 9. 6. — 13 c Cyfyd drain *a* mieri ar dir fy mhobl,
ïe ‖ ar bob tŷ llawenydd *yn* d y ddinas
‖ Neu, *yn llosgi pob tŷ, &c.* — hyfryd.
14 Canys y palasau a wrthodir, llïosowg-
rwydd y ddinas a adewir, yr amddiffyn-
d Pen. 22. 2. — feydd a'r tyrau fyddant yn ogfeydd hyd
byth, yn hyfrydwch asynod gwŷlltion, yn
borfa dïadellau;
e Psal. 104. 30. — 15 Hyd e oni thywallter arnom yr yspryd
o'r uchelder, a bod f yr anialwch yn ddol-dir,
f Pen. 29. 17. a 35. 2. — a chyfrif y dol-dir yn goed-tir.
16 Yna y trig barn yn yr anialwch, a chy-
fiawnder a erys yn y dol-dir.
17 A gwaith cyfiawnder fydd heddwch;
ïe gweithred cyfiawnder *fydd* llonyddwch, a
dïogelwch, hyd byth.
18 A'm pobl a drig mewn preswylfa hed-
dychlon, ac mewn anneddau dïogel, ac mewn
gorphwysfaoedd llonydd:
19 Pan ddisgyno cenllysg *ar* y coed, ac
† Neu, *yn isel.* — y gostyngir y ddinas † mewn lle isel.
20 Gwŷn eich byd y rhai a hauwch ger
llaw pob dyfroedd, y rhai a yrrwch draed
yr ŷch a'r asyn *yno.*

## PEN. XXXIII.

Rhagf. 10. B. — 1 *Barnedigaethau Duw yn erbyn gelynion yr
eglwys.* 13 *Rhagorfraint y duwiol.*

Cylch 713. — GWAE di a anrheithiwr, a thi heb dy
anrheithio; a *thi* anffyddlon, er na
a Pen. 21. 2. — wnaed yn anffyddlon â thi: b pan ddarffo
Hab. 2. 8. — it' anrheithio, y'th anrheithir; *a* phan ddarffo
b Dat. 13. 10. — it' fod yn anffyddlon, byddant anffyddlon i
ti.
2 ARGLWYDD, trugarhâ wrthym: wrthyt
y disgwyliasom: bydd fraich iddynt bob
bore, a'n hiachawdwriaeth ninnau yn amser
cystudd.
3 Wrth lais y twrf y gwibiodd y bobl;
wrth ymddyrchafu o honot y gwasgarwyd
y cenhedloedd.
4 A'ch yspail a gynhullir *fel* cynhulliad
lindys; fel gwibiad ceiliogod rhedyn y rhed
efe arnynt.
5 Dyrchafwyd yr ARGLWYDD; canys
preswylio y mae yn yr uchelder: efe a lanw-
odd Sïon o farn a chyfiawnder.
6 A sicrwydd dy amserau, *a* nerth iach-
awdwriaeth, fydd doethineb a gwybod-
aeth: ofn yr ARGLWYDD *yw* ei drysor ef.
† Neu, *cenhadon.* — 7 Wele, eu † rhai dewrion a waeddant
oddi allan: cenhadon heddwch a wylant yn
c Barn. 5. 6. — chwerw.
8 c Aeth y prif-ffyrdd yn ddisathr, darfu
cynniweirydd llwybr: diddymmodd y cyf-
ammod, dïystyrodd y dinasoedd, ni wnaeth
gyfrif o ddynion.
9 Galarodd *a* llesgaodd y ddaear; cywi-
lyddiodd Libanus, *a* ‡ thorrwyd ef; Saron — ‡ Neu,
a aeth megis anialwch, ysgydwyd Basan — *gwywodd.*
hefyd a Charmel.
10 Cyfodaf yn awr, medd yr ARGLWYDD:
ymddyrchafaf weithian; ymgodaf bellach.
11 d Chwi a ymddygwch us, *ac* a es- — d Psal. 7.
gorwch ar sofl; eich anadl *fel* tân a'ch ysa — 14.
chwi.
12 A'r bobloedd fyddant *fel* llosgfa calch,
*fel* drain wedi eu torri y llosgir hwy yn
tân.
13 ¶ Gwrandêwch, belledigion, yr hyn a
wneuthum; a gwybyddwch, gymmydogion,
fy nerth.
14 Pechaduriaid a ofnasant yn Sïon,
dychryn a ddaliodd y rhagrithwŷr: pwy o
honom a drig gyd â'r tân ysol? pwy o ho-
nom a breswylia gyd â llosgfeydd tragywyd-
dol?
15 e Yr hwn a rodia *mewn* cyfiawnder, — e Psal. 15.
ac a draetha uniondeb, a wrthyd elw — 2. a 24. 4.
§ trawsder, a ysgydwo ei law rhag derbyn — § Neu,
gwobr, a gauo ei glust rhag clywed ‖ ce- — *twyll.*
lanedd, ac a gauo ei lygaid rhag edrych ar — ‖ Heb.
ddrygioni; — *gwaed.*
16 Efe a breswylia'r uchelderau; cestyll
y creigiau *fydd* ei ymddiffynfa ef; ei fara a
roddir iddo, ei ddwfr *fydd* sicr.
17 Dy lygaid a welant y brenhin yn ei
degwch: gwelant † y tir pell. — † Heb.
18 Dy galon a fyfyria ofn; f pa le *y mae*'r — *dir y pellder.*
ysgrifenydd? pa le *y mae*'r ‡ trysorwr? pa
le *y mae* rhifwr y tyrau? — f 1 Cor. 1. 20.
19 Ni g chei weled pobl greulon, h pobl — ‡ Heb.
o iaith ddyfnach nag a ddeallech di, *neu* — *pwyswr?*
floesg dafod, *fel* na ddeallech. — g 2 Bren.
20 Gwel, Sïon, dinas ein cyfarfod: dy — 19. 32.
lygaid a welant i Jerusalem, y breswylfa — h Deut. 28. 49.
lonydd, y babell ni thynnir i lawr, *ac* ni — Jer. 5. 15.
syflir un o'i hoelion byth, ac ni thorrir un — i Psal. 46.
o'i rhaffau. — 5. a 125.
21 Eithr yr ARGLWYDD ardderchog — 1, 2.
*fydd* yno i ni, yn fangre afonydd *a* ffrydau
§ llydain: y rhwyf-long nid â trwyddo, a — § Heb.
llong odidawg nid â drosto. — *ehang-le.*
22 Canys yr ARGLWYDD *yw* ein barn- — neu, *ehang-law.*
wr, yr ARGLWYDD *yw* ein k deddfwr, — k Iago 4.
yr ARGLWYDD *yw* ein brenhin; efe a'n — 12.
ceidw.
23 ‖ Gollyngasant dy raffau, ni chadarn- — ‖ Neu,
hasant eu hwylbren yn iawn, ni thaenas- — *Gollyngwyd.*
ant yr hwyl; yna y rhennir ysglyfaeth ys-
pail fawr, y cloffion a 'sglyfaethant yr ys-
glyfaeth.
24 Ac ni ddywed y preswylydd, Claf yd-
wyf: maddeuir anwiredd y bobl a drigant
ynddi.

## PEN. XXXIV.

1 *Y barnedigaethau y mae Duw yn dial ei* — Rhagf. 10.
*eglwys â hwynt.* 11 *Difrod ei gelynion* — P.
*hi.* 16 *Sicred yw y brophwydoliaeth.*

NESÈWCH, genhedloedd, i glywed, a — Cylch
gwrandêwch, bobloedd; gwrandawed — 713.
y ddaear † ac oll y sydd ynddi, y byd a'i — † Heb.
holl gnwd. — *a'i chyflawnder.*
2 Canys llidiowgrwydd yr ARGLWYDD
*sydd* ar yr holl genhedloedd, a'i sorriant ar
eu holl luoedd hwynt: difrododd hwynt,
rhoddes hwynt i'r lladdfa.
3 A'u lladdedigion a fwrir allan, a a'u — a Joel 2.
drewiant o'u celanedd a gyfyd i fynu, y — 20.

mynyddoedd hefyd a doddant o'u gwaed hwynt.

b Psal. 102. 26. Ezec. 32. 7. Joel 2. 31. a 3. 15. Mat. 24. 29. 2 Petr 3. 10. c Dat. 6. 14. d Dat. 6. 13.

4 [b] Holl lu'r nefoedd hefyd a ddattodir, [c] a'r nefoedd a blygir fel llyfr: a'i holl lu a syrth, fel y syrthiai deilen o'r winwydden, ac fel [d] *ffigysen* yn syrthio oddi ar y pren.

e Jer. 46. 10. f Jer. 49. 7.

5 Canys [e] fy nghleddyf a drochir yn y nefoedd: wele, [f] ar Edom y disgyn i farn, ac ar y bobl a ysgymmunais.

g Pen. 63. 1. Seph. 1. 7.

6 Cleddyf yr ARGLWYDD a lanwyd o waed, tewychodd gan frasder, *a* chan waed ŵyn a bychod, gan frasder arennau hyrddod: canys [g] mae i'r ARGLWYDD aberth yn Bosrah, a lladdfa fawr yn nhir Edom.

7 A disgyn yr unicorniaid gyd â hwynt, a'r bustych gyd â'r teirw, a'u tir hwynt a feddwa o'u gwaed hwynt, a'u llwch fydd tew o frasder.

h Pen. 63. 4.

8 Canys [h] diwrnod dïal yr ARGLWYDD, blwyddyn taledigaeth yn achos Sïon, *yw.*

i Edrych Deut. 29. 23.

9 [i] A'i hafonydd a droir yn bŷg, a'i llwch yn frwmstan, a'i daear yn bŷg llosgedig.

k Dat. 14. 11. a 18. 18. a 19. 3. l Mal. 1. 4. m Pen. 14. 23. Seph. 2. 14. Dat. 18. 2. n 2 Bren. 21. 13. Galar. 2. 8.

10 Ni's diffoddir nos na dydd; [k] ei mŵg a ddring byth: [l] o genhedlaeth i genhedlaeth y diffaethir hi; ni *bydd* cynniweirydd trwyddi byth bythoedd.

11 ¶ [m] Y pelican hefyd a'r draenog a'i meddianna; y dylluan a'r gigfran a drigant ynddi; ac [n] efe a estyn arni linyn anhrefn, a meini gwagedd.

12 Ei phendefigion hi a alwant i'r frenhiniaeth, ond ni *bydd* yr un yno, a'i holl dywysogion hi fyddant ddiddym.

o Hos. 9. 6. † Neu, *a mieri.* p Pen. 13. 21, &c. ‡ Heb. *ferched.* § Ziim. ‖ Iim.

13 [o] Cyfyd hefyd *yn* ei phalasau ddrain, danadl † ac ysgall o fewn ei cheurydd: a [p] hi a fydd yn drigfa dreigiau, yn gyntedd i ‡ gywion yr estrys.

14 Ac § anifeiliaid gwŷlltion yr anialwch, a'r ‖ cathod, a ymgyfarfyddant: yr ellyll a eilw ar ei gyfaill; yr ŵyll a orphwys yno hefyd, ac a gaiff orphwysfa iddi.

15 Yno y nytha'r dylluan, ac y dodwa, ac y deora, ac a gasgl yn ei chysgod; y fylturiaid a ymgasglant yno hefyd, pob un gyd â'i gymmar.

16 ¶ Ceisiwch allan o lyfr yr ARGLWYDD, a darllenwch; ni phalla un o hyn, ni bydd un heb ei gymmar; canys fy ngenau, efe a orchymynodd, a'i yspryd, efe a'u casglodd hwynt.

17 Efe hefyd a fwriodd y coelbren iddynt, a'i law ef a'i rhannodd hi iddynt wrth linyn: meddiannant hi hyd byth, a phreswyliant ynddi o genhedlaeth i genhedlaeth.

## PEN. XXXV.

Rhagf. 11. B.

1 *Hyfrydwch a godidowgrwydd teyrnas Crist.* 3 *Cysuro'r gweiniaid trwy rinweddau a breiniau'r efengyl.*

Cylch 713. a Pen. 55. 12. b Pen. 32. 15.

[a] YR anialwch a'r anghyfanneddle a lawenychant o'u plegid; y diffaethwch hefyd a orfoledda, ac a flodeua fel rhosyn.

2 [b] Gan flodeuo y blodeua, ac y llawenycha hefyd â llawenydd ac â chân: gogoniant Libanus a roddir iddo, godidowgrwydd Carmel a Saron: hwy a welant ogoniant yr ARGLWYDD, *a* godidowgrwydd ein Duw ni.

c Job 4. 3, 4. Heb. 12. 12. † Heb. *prysur.*

3 ¶ [c] Cadarnhêwch y dwylaw llesg, a chryfhêwch y gliniau gweiniaid.

4 Dywedwch wrth y rhai † ofnus o galon, Ymgryfhêwch, nac ofnwch: wele, eich Duw chwi a ddaw *â* dïal, ïe Duw *â* thaledigaeth; efe a ddaw, ac a'ch achub chwi.

d Pen. 29. 18. a 32. 3, 4. a 42. 7. Mat. 9. 27, &c. a 11. 5. a 12. 21. a 20. 30, &c. a 21. 14. Ioan 9. 6, 7. e Mat. 11. 5. Marc 7. 32, &c. f Mat. 11. 5. a 15. 30. a 21. 14. Ioan 5. 8, 9. Act. 3. 2, &c. a 8. 7. a 14. 8, &c. g Mat. 9. 32, 33. a 12. 22. a 15. 30. h Ioan 7. 38, 39. i Pen. 41. 18. a 43. 19.

5 [d] Yna'r agorir llygaid y deillion, a [e] chlustiau'r byddarion a agorir.

6 Yna [f] y llamma'r cloff fel hydd, ac y cân [g] tafod y mudan: canys [h] dyfroedd a dyrr allan yn yr anialwch, ac afonydd yn y diffaethwch.

7 Y crasdir hefyd fydd yn llynn, a'r tir sychedig yn ffynhonnau dyfroedd; yn [k] nhrigfa'r dreigiau, a'u gorweddfa, *y bydd* ‡ cyfle corsennau a brwyn.

8 Yna y bydd prif-ffordd, a ffordd; a ffordd sanctaidd y gelwir hi: [l] yr halogedig nid â ar hyd ddi; canys § hi *a fydd* i'r rhai hynny: a rodio'r ffordd, pe *byddent* ynfydion, ni chyfeiliornant.

9 [m] Ni bydd yno lew, a bwystfil gormesol ni ddring iddi, *ac* ni's ceir yno; eithr y rhai gwaredol a rodiant *yno.*

10 A [n] gwaredigion yr ARGLWYDD a ddychwelant, ac a ddeuant i Sïon â chaniadau, ac â llawenydd tragywyddol ar eu pen: goddiweddant lawenydd a hyfrydwch, a [o] chystudd a galar a ffy ymaith.

k Pen. 34. 13. ‡ Neu, *cyntedd.* l Pen. 52. 1. Joel 3. 17. Dat. 21. 27. § Neu, *efe a fydd gyd a'r rhai hynny.* m Lef. 26. 6. Pen. 11. 9. n Pen. 51. 11. o Pen. 25. 8. Dat. 7. 17. a 21. 4.

## PEN. XXXVI.

Rhagf. 11. P.

1 *Sennacherib yn dyfod yn erbyn Judah.* 4 *Rabsaceh wedi ei anfon gan Sennacherib, trwy resymmau cablaidd, yn ceisio gan y bobl droi oddi wrth Hezecïah.* 22 *Mynegi ei eiriau ef i Hezecïah.*

a 2 Bren. 18. 13, 17. 2 Cron. 32. 1.

[a] AC yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg 713.
i'r brenhin Hezecïah, y daeth Sennacherib brenhin Assyria i fynu yn erbyn holl gaerog ddinasoedd Judah, ac a'u goresgynodd hwynt.

2 A brenhin Assyria a anfonodd Rabsaceh 710.
o Lachis i Jerusalem, at y brenhin Hezecïah, â llu dirfawr. Ac efe a safodd wrth bistyll y llynn uchaf, ym mhrif-ffordd maes y pannwr.

3 Ac aeth atto ef Elïacim mab Hilcïah, yr hwn *oedd* benteulu, a Sebna'r ysgrifenydd, a Joah mab Asaph y cofiadur.

4 ¶ A dywedodd Rabsaceh wrthynt, Dywedwch yn awr wrth Hezecïah, Fel hyn y dywed y brenhin mawr, brenhin Assyria, Pa hyder *yw* hwn yr ymddiriedi *ynddo?*

† Heb. *gwefusau.* ‡ Neu, *raid.*

5 Dywedais, *meddi,* (ond nid *ydynt ond* † geiriau ofer) Cyngor a nerth *sydd* ‡ *gennyf* i ryfel: ar bwy, attolwg, yr hyderi, pan wyt yn gwrthryfela i'm herbyn?

b Ezec. 29. 6, 7.

6 Wele, hyderaist ar [b] y ffon gorsen ddrylliedig honno, ar yr Aipht; yr hon pwy bynnag a bwyso arni, hi a â i gledr ei law ef, ac a dylla trwyddi: felly *y mae* Pharaoh brenhin yr Aipht i bawb a hyderant arno.

7 Ond os dywedi wrthyf, Yn yr ARGLWYDD ein Duw'r ydym yn ymddiried: onid efe *yw'r* hwn y darfu i Hezecïah dynnu i lawr ei uchelfeydd, a'i allorau, a dywedyd wrth Judah a Jerusalem, O flaen yr allor hon yr addolwch?

8 Ac yn awr dyro wystlon, attolwg, i'm harglwydd brenhin Assyria, a mi a roddaf i ti ddwy fil o feirch, os gelli di roddi rhai a farchogo arnynt.

9 A pha fodd y troi di ymaith wyneb un
capten o'r gweision lleiaf i'm harglwydd,
ac yr ymddiriedi yn yr Aipht am gerbydau
ac am farchogion?
10 Ai heb yr ARGLWYDD y daethum i
fynu yr awr hon yn erbyn y wlad hon i'w
dinystrio? yr ARGLWYDD a ddywedodd
wrthyf, Dos i fynu yn erbyn y wlad hon, a
dinystria hi.
11 ¶ Yna y dywedodd Elïacim, a Sebna,
a Joah, wrth Rabsaceh, Llefara, attolwg,
wrth dy weision yn Syriäeg; canys *yr ydym*
ni yn *ei* deall: ac na lefara wrthym yn iaith
yr Iuddewon, lle y clywo'r bobl *sydd* ar y
mur.
12 ¶ Ond Rabsaceh a ddywedodd, Ai at
dy feistr ac attat tithau yr anfonodd fy
meistr fi i lefaru'r geiriau hyn? onid at y
dynion sydd yn eistedd ar y mur *yr anfon-*
*odd fi*, fel y bwyttaont eu tom eu hun, ac yr
yfont eu trwngc eu hun gyd â chwi?
13 A safodd Rabsaceh, a gwaeddodd â
llef uchel yn iaith yr Iuddewon, ac a ddy-
wedodd, Gwrandêwch eiriau'r brenhin
mawr, brenhin Assyria.
14 Fel hyn y dywed y brenhin, Na thwyll-
ed Hezecïah chwi: canys ni ddichon efe
eich gwaredu chwi.
15 Ac na phared Hezecïah i chwi ymddir-
ied yn yr ARGLWYDD, gan ddywedyd, Yr
ARGLWYDD gan waredu a'ch gwared chwi,
ni roddir y ddinas hon yn llaw brenhin
Assyria.
16 Na wrandêwch ar Hezecïah: canys fel
hyn y dywed brenhin Assyria, Gwnewch
† Heb. *fendith.* † fwynder â mi, a deuwch allan attaf, a
bwyttêwch bob un o'i winwŷdden ei hun, a
phob un *o'i* ffigysbren, ac yfed pawb ddwfr
ei ffynnon ei hun;
17 Nes im' ddyfod a'ch dwyn chwi i
wlad megis eich gwlad eich hun, gwlad ŷd
a gwin, gwlad bara a gwinllannoedd.
18 *Gwyliwch* rhag i Hezecïah eich hudo
chwi, gan ddywedyd, Yr ARGLWYDD a'n
gwared ni. A waredodd un o dduwiau'r cen-
hedloedd ei wlad o law brenhin Assyria?
19 *Mae* duwiau Hamath ac Arphad? *mae*
duwiau Sepharfaïm? a waredasant hwy Sa-
maria o'm llaw i?
20 Pwy *sydd* ym mhlith holl dduwiau y
gwledydd hyn a'r a waredasant eu gwlad
o'm llaw i, fel y gwaredai'r ARGLWYDD
Jerusalem o'm llaw?
21 Eithr hwy a dawsant, ac nid attebasant
air iddo: canys gorchymyn y brenhin *oedd*
hyn, gan ddywedyd, Nac attebwch ef.
22 ¶ Yna y daeth Elïacim mab Hilcïah,
yr hwn *oedd* benteulu, a Sebna'r ysgrifen-
ydd, a Joah mab Asaph y cofiadur, at Heze-
cïah â'u dillad yn rhwygedig, ac a fyneg-
asant iddo eiriau Rabsaceh.

## PEN. XXXVII.

Rhagf. 12. B. Sul 1 ar ol y Nadolig. B.
1 *Hezecïah, yn ei dristwch, yn gyrru at Esay,*
*i gael gantho weddïo drosto ef a'i bobl.* 6
*Esay yn eu cysuro hwy.* 8 *Sennacherib yn*
*myned i ymladd â Thirhacah, ac yn anfon*
*llythyrau cablaidd at Hezecïah.* 14 *Gweddi*
*Hezecïah.* 21 *Esay yn prophwydo balchder*
*a chwymp Sennacherib, a llwyddiant Sïon.*
36 *Angel yn lladd yr Assyriaid.* 37 *Lladd*
*Sennacherib yn Ninefeh gan ei feibion ei hun.*

710. a 2 Breu. 19. 1, &c.
A [a] Phan glybu'r brenhin Hezecïah *hynny,*
efe a rwygodd ei ddillad, ac a ym-
wisgodd mewn sach-lïain, ac a aeth i dŷ'r
ARGLWYDD.

2 Ac a anfonodd Elïacim y penteulu, a
Sebna'r ysgrifenydd, a henuriaid yr offei-
riaid, wedi ymwisgo mewn sach-lïain, at
Esay'r prophwyd, fab Amos.
3 A hwy a ddywedasant wrtho, Fel hyn
y dywedodd Hezecïah, Diwrnod cyfyngder,
a cherydd, a † chabledd, *yw*'r dydd hwn: † Neu, *cythrudd.*
canys y plant a ddaethant hyd yr enedig-
aeth, ond nid *oes* grym i esgor.
4 Fe allai y gwrendy'r ARGLWYDD dy
DDUW eiriau Rabsaceh, yr hwn a anfonodd
brenhin Assyria ei feistr i gablu'r DUW
byw, ac y cerydda efe'r geiriau a glybu'r
ARGLWYDD dy DDUW: am hynny dyrcha
*dy* weddi dros y gweddill *sydd* i'w gael.
5 Felly gweision y brenhin Hezecïah a
ddaethant at Esay.
6 ¶ A dywedodd Esay wrthynt, Fel hyn y
dywedwch wrth eich meistr, Fel hyn y dy-
wed yr ARGLWYDD, Nac ofna'r geiriau a
glywaist, *trwy* y rhai y cablodd gweision
brenhin Assyria fi.
7 Wele fi yn rhoddi ‡ arno ef wŷnt, ac ‡ Neu, *ynddo ef yspryd.*
efe a glyw swn, ac a ddychwel i'w wlad:
gwnaf hefyd iddo syrthio gan y cleddyf yn
ei wlad ei hun.
8 ¶ Yna y dychwelodd Rabsaceh, ac a
gafodd frenhin Assyria yn rhyfela yn erbyn
Libnah: canys efe a glywsai ddarfod iddo
fyned o Lachis.
9 Ac efe a glywodd *son* am Tirhacah fren-
hin Ethiopia, gan ddywedyd, Efe a aeth
allan i ryfela â thi. A phan glywodd *hynny,*
efe a anfonodd genhadau at Hezecïah, gan
ddywedyd,
10 Fel hyn y dywedwch wrth Hezecïah
brenhin Judah, gan ddywedyd, Na thwylled
dy DDUW di, yr hwn yr wyt yn ymddiried
ynddo, gan ddywedyd, Ni roddir Jerusalem
yn llaw brenhin Assyria.
11 Wele, ti a glywaist yr hyn a wnaeth
brenhinoedd Assyria i'r holl wledydd, gan
eu difrodi hwynt; ac a waredir di?
12 A waredodd duwiau'r cenhedloedd
hwynt, y rhai a ddarfu i'm tadau eu
dinystrio, *sef* Gozan, a Haran, a Reseph,
a meibion Eden, y rhai *oedd* o fewn Te-
lassar?
13 *Mae* brenhin [b] Hamath, a brenhin b Jer. 49. 23.
Arphad? a brenhin dinas Sepharfaïm, Hena
ac Ifah?
14 ¶ A chymmerth Hezecïah'r llythyr o
law y cenhadau, ac a'i darllenodd; a Heze-
cïah a aeth i fynu i dŷ'r ARGLWYDD, ac a'i
lledodd ger bron yr ARGLWYDD.
15 A Hezecïah a weddïodd at yr AR-
GLWYDD, gan ddywedyd,
16 ARGLWYDD y lluoedd, DUW Israel,
yr hwn wyt yn trigo *rhwng* y cerubiaid, ti
ydwyt DDUW, *ïe* tydi yn unig, i holl deyrn-
asoedd y ddaear: ti a wnaethost y nefoedd
a'r ddaear.
17 Gogwydda, ARGLWYDD, dy glust, a
gwrando; agor dy lygaid, ARGLWYDD, ac
edrych: gwrando hefyd holl eiriau Senna-
cherib, yr hwn a anfonodd i ddifenwi'r
DUW byw.
18 Gwir *yw*, O ARGLWYDD, i frenhin-
oedd Assyria ddifa'r holl § genhedloedd a'u § Heb. *diroedd.*
gwledydd,
19 A rhoddi eu duwiau hwy yn tân: ca-
nys nid *oeddynt* hwy dduwiau, ond gwaith
dwylaw dyn, *o* goed a maen: am hynny y
dinystriasant hwynt.
20 Yr awr hon gan hynny, O AR-
GLWYDD ein DUW, achub ni o'i law ef;

fel y gwypo holl deyrnasoedd y ddaear mai
ti *yw* 'r ARGLWYDD, tydi yn unig.
21 ¶ Yna Esay mab Amos a anfonodd at
Hezeciah, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed
ARGLWYDD DDUW Israel, O herwydd it'
weddio attaf fi yn erbyn Sennacherib bren-
hin Assyria:
22 Dyma 'r gair a lefarodd yr ARGLWYDD
yn ei erbyn ef, Y forwyn merch Sion a'th
ddirmygodd, *ac* a'th watwarodd: merch Je-
rusalem a ysgydwodd ben ar dy ol.
23 Pwy a ddifenwaist ac a geblaist? ac
yn erbyn pwy y dyrchefaist *dy* lef, ac y cyf-
odaist yn uchel dy lygaid? yn erbyn Sanct
Israel.
24 Trwy law dy weision y ceblaist yr Ar-
glwydd, ac y dywedaist, A lliaws fy ngher-
bydau y daethum i fynu i uchelder y my-
nyddoedd, i ystlysau Libanus; a mi a dorraf
uchelder ei gedrwŷdd, *a'i* ddewis ffynnid-
wŷdd; af hefyd i'w gwrr uchaf, *ac* i goed
† Carmel. † ei ddol-dir.
25 Myfi a gloddiais, ac a yfais ddwfr; â
gwadnau fy nhraed hefyd y sychais holl
afonydd y gwarchaeedig.
‡ 2 Bren. 19. 25. 26 ‡ Oni chlywaist wneuthur o honof
hyn er ys talm, a'i lunio er y dyddiau gynt?
§ Neu, *a ddygwn hynny yn awr i'w ddistrywio, a din. caer. i fod yn gar.* &c. § yn awr y dygais hynny i ben, fel y byddit
i ddistrywio dinasoedd caerog *yn* garneddau
dinystriol.
27 Am hynny eu trigolion yn gwttog-
law a ddychrynwyd ac a gywilyddiwyd:
oeddynt *megis* gwellt y maes, fel gwŷrdd-
lysiau, a glas-wellt ar bennau *tai,* neu *ŷd*
wedi deifio cyn addfedu.
28 Dy eisteddiad hefyd, a'th fynediad
allan, a'th ddyfodiad i mewn, a adnabûm,
a'th gynddeiriowgrwydd i'm herbyn.
29 Am it' ymgynddeiriogi i'm herbyn,
ac i'th ddadwrdd ddyfod i fynu i'm clust-
c Pen. 30. 28. Ezec. 38. 4. iau; am hynny [c] y rhoddaf fy mâch yn dy
ffroen di, a'm ffrwyn yn dy weflau, ac
a'th ddychwelaf di ar hŷd yr un ffordd ag y
daethost.
30 A hyn *fydd* yn arwydd i ti, *Hezecïah:*
Y flwyddyn *hon* y bwyttéi a dyfo o hono ei
hun; ac yn yr ail flwyddyn yr attwf; ac yn
y drydedd flwyddyn hauwch a medwch,
plennwch winllannoedd hefyd, a bwyttêwch
eu ffrwyth hwynt.
31 A'r gweddill o dŷ Judah, *yr hwn* a
adewir, a wreiddia eilwaith i wared, ac a
ddwg ffrwyth i fynu.
32 Canys gweddill a â allan o Jerusalem,
d 2 Bren. 19. 31. Pen. 9. 7. a'r rhai diangol o fynydd Sion: [d] zel AR-
GLWYDD y lluoedd a wna hyn.
33 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD am frenhin Assyria, Ni ddaw efe
i 'r ddinas hon, ac nid ergydia efe saeth
yno; hefyd ni ddaw o'i blaen â tharian, ac
ni fwrw glawdd i'w herbyn.
34 Ar hŷd yr un ffordd ag y daeth y dy-
chwel, ac ni ddaw i mewn i'r ddinas hon,
medd yr ARGLWYDD.
e 2 Bren. 20. 6. 35 Canys mi [e] a ddiffynnaf y ddinas hon,
i'w chadw hi er fy mwyn fy hun, ac er
mwyn Dafydd fy ngwas.
f 2 Bren. 19. 35. 36 ¶ Yna 'r aeth [f] angel yr ARGLWYDD,
ac a darawodd yngwersyll yr Assyr-
iaid gant a phedwar ugain a phump o
filoedd: a phan gyfodasant yn fore dran-
noeth, wele hwynt oll yn gelaneddau meir-
won.
37 ¶ Felly Sennacherib brenhin Assyria a
ymadawodd, ac a aeth, ac a ddychwelodd,
ac a drigodd yn Ninefeh.
38 ¶ A bu, fel yr ydoedd efe yn addoli yn
nhŷ Nisroch ei dduw, i Adrammelech a Sa-
reser ei feibion, ei daraw ef â'r cleddyf; a
hwy a ddiangasant i wlad ‖ Armenia. Ac ‖ Heb. *Ararat.*
Esarhadon ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PEN. XXXVIII.

1 *Hezecïah, wedi cael cennadwri o'i farw-* Rhagf. 12. P.
*olaeth, trwy weddi yn cael estyn ei einioes.* Sal 1 ar ol y Na-
*8 Yr haul yn myned ddeg o raddau yn ei ol,* dolig, P.
*yn arwydd o'r addewid hunnw. 9 Cân diolch*
*Hezecïah.*

YN [a] y dyddiau hynny y clafychodd He- 713.
zeciah hyd farw. Ac Esay y pro- a 2 Bren. 20. 1. 2 Chron. 32. 24.
phwyd mab Amos a ddaeth atto ef, ac a
ddywedodd wrtho, Fel hyn y dywed yr
ARGLWYDD, † Trefna dy dŷ; canys marw † Heb. *Dod orchymyn am dy dŷ.*
fyddi, ac ni byddi byw.
2 Yna Hezecïah a droes ei wyneb at y
pared, ac a weddiodd at yr ARGLWYDD.
3 A dywedodd, Attolwg, ARGLWYDD,
cofia 'r awr hon i mi rodio ger dy fron
di mewn gwirionedd ac â chalon berffaith,
a gwneuthur o honof yr hyn *oedd* dda yn
dy olwg. A Hezeciah a wylodd ag wylo-
fain mawr.
4 ¶ Yna y bu gair yr ARGLWYDD wrth
Esay, gan ddywedyd,
5 Dos a dywed wrth Hezecïah, Fel hyn
y dywed ARGLWYDD DDUW Dafydd dy
dad, Clywais dy weddi di, gwelais dy
ddagrau; wele, mi a chwanegaf at dy ddy-
ddiau di bymtheng mlynedd.
6 Ac o law brenhin Assyria y'th waredaf di
a'r ddinas: a mi a ddiffynnaf y ddinas hon.
7 A hyn *fydd* i ti yn arwydd oddi wrth
yr ARGLWYDD, y gwna'r ARGLWYDD y
gair hwn a lefarodd;
8 Wele fi yn dychwelyd cysgod y graddau,
yr hwn a ddisgynodd ‡ yn neial Ahaz gyd ‡ Heb. *yngraddau.*
â'r haul, ddeg o raddau yn ei ol. Felly 'r
haul a ddychwelodd ddeg o raddau, ar hŷd
y graddau y disgynasai *ar hyd-ddynt.*
9 ¶ Ysgrifen Hezeciah brenhin Judah, pan
glafychasai, a byw o hono o'i glefyd.
10 Myfi a ddywedais yn nhorriad fy
nyddiau, Af i byrth y bedd; difuddiwyd fi
o weddill fy mlynyddoedd.
11 Dywedais, Ni chaf weled yr AR-
GLWYDD IOR [b] yn nhir y rhai byw: ni wel- b Psal. 27. 13. a 116. 9.
af ddyn mwyach ym mysg trigolion y byd.
12 [c] Fy § nhrigfa a aeth, ac a symmud- c Job 7. 6.
wyd oddi wrthyf fel lluest bugail: torrais § Neu, *oes.*
ymaith fy hoedl megis gwehydd; ‖ â ‖ Neu, *oddi wrth yr cadw.*
nychdod y'm tyrr ymaith: o ddydd hyd
nos y gwnai ben am danaf.
13 Cyfrifais hyd y bore, *mai* megis llew y
dryllia efe fy holl esgyrn: o ddydd hyd nos
y gwnei ddiben arnaf.
14 Megis garan *neu* wennol, felly trydar
a wneuthum; [d] griddfenais megis colom- d Pen. 59. 11.
men: fy llygaid a ddyrchafwyd i fynu:
O ARGLWYDD, gorthrymmwyd fi; esmwy-
thâ arnaf.
15 Beth a ddywedaf? canys dywedodd
wrthyf, ac efe a'i gwna: mi a gerddaf yn
araf fy holl flynyddoedd yn chwerwedd fy
enaid.
16 Arglwydd, trwy 'r *pethau* hyn yr ydys yn
byw, ac yn yr holl *bethau* hyn *y mae* bywyd
fy yspryd i; felly yr iachêi, ac y bywhei fi. † Neu, *ar fy heddwch.*
17 Wele † yn lle heddwch i mi chwerw-
der chwerw: ond ‡ o gariad ar fy enaid ‡ Heb. *cerraist fy enaid o bwll llygred.* &c.
y gwaredaist *ef* o bwll llygredigaeth: canys
ti a deflaist fy holl bechodau o'r tu ol i'th
gefn.

18 Canys [e] y bedd ni'th fawl di, angau *ni* 'th glodfora: y rhai sy 'n disgyn i'r pwll ni obeithiant am dy wirionedd.

[e] Psal. 6. 5. a 30. 9. a 88. 11. a 115. 17.

19 Y byw, y byw, efe a'th fawl di, fel *yr wyf* fi heddyw: y tad a hyspysa i'r plant dy wirionedd.

20 Yr ARGLWYDD *sydd* i'm cadw: am hynny y canwn fy nghaniadau, holl ddyddiau ein heinioes, yn nhŷ 'r ARGLWYDD.

21 Canys [f] Esay a ddywedasai, Cymmerant swp o ffigys, a rhwymant yn blastr ar y cornwyd, ac efe a fydd byw.

[f] 2 Bren. 20. 7.

22 A dywedasai Hezecïah, Pa arwydd fydd y caf fyned i fynu i dŷ 'r ARGLWYDD?

## PEN. XXXIX.

Rhagf. 13. B.

1 *Merodach-baladan yn anfon i ymweled â Hezecïah o herwydd y rhyfeddod, ac wrth hynny yn cael gwybodaeth o'i drysorau ef: 3 ac Esay yn cael gwybod hynny, ac yn rhag-fynegi y caethglud i Babilon.*

Cylch 712.

YN [a] yr amser hwnnw Merodach-baladan, mab Baladan, brenhin Babilon, a anfonodd lythyrau ac anrheg at Hezecïah: canys efe a glywsai ei fod ef yn glaf, a'i fyned yn iach.

[a] 2 Bren. 20. 12, &c.

2 A Hezecïah a lawenychodd o'u herwydd hwynt, ac a ddangosodd iddynt † dŷ ei drysorau, yr arian, a'r aur, a'r llysieuau, a'r olew gwerthfawr, a holl dŷ ei ‡ arfau, a'r hyn oll a gafwyd yn ei drysorau ef: nid oedd dim yn ei dŷ ef, nac yn ei holl gyfoeth ef, a'r na's dangosodd Hezecïah iddynt.

† Neu, *ei lyfrieu-dy.*
‡ Neu, *dlysau.* Heb. *ddodrefn.*

3 ¶ Yna y daeth Esay y prophwyd at y brenhin Hezecïah, ac a ddywedodd wrtho, Beth a ddywedodd y gwŷr hyn? ac o ba le y daethant attat? A dywedodd Hezecïah, O wlad bell y daethant attaf fi, *sef* o Babilon.

4 Yntau a ddywedodd, Beth a welsant hwy yn dy dŷ di? A dywedodd Hezecïah, Yr hyn oll *oedd* yn fy nhŷ i a welsant: nid oes dim yn fy nhrysorau a'r na's dangosais iddynt.

5 Yna Esay a ddywedodd wrth Hezecïah, Gwrando air ARGLWYDD y lluoedd.

6 Wele'r dyddiau'n dyfod, pan ddygir i Babilon yr hyn oll *sydd* yn dy dŷ di, a'r hyn a gynhilodd dy dadau di hyd y dydd hwn: ni adewir dim, medd yr ARGLWYDD.

7 Cymmerant hefyd o'th feibion di, y rhai a ddaw o honot, *sef* y rhai a genhedli, fel y byddont ystafellyddion yn llys brenhin Babilon.

Cyflawnwyd Dan. 1. 2, 3, 7

8 Yna y dywedodd Hezecïah wrth Esay, Da *yw* gair yr ARGLWYDD, yr hwn a leferaist. Dywedodd hefyd, Canys bydd heddwch a gwirionedd yn fy nyddiau i.

## PEN. XL.

Rhagf. 13. F.

1 *Cyhoeddi 'r efengyl. 3 Pregeth Ioan fedyddiwr, 9 a'r apostolion. 12 Y prophwyd, trwy ddangos fod Duw yn hollalluog, 18 ac nad oes dim cyffelyb na chyfartal iddo, 26 yn cysuro 'r bobl.*

Cylch 712.

CYSURWCH, cysurwch fy mhobl, medd eich DUW.

2 Dywedwch † wrth fodd calon Jerusalem, llefwch wrthi hi, gyflawni ei ‡ milwriaeth, ddileu ei hanwiredd: o herwydd derbyniodd o law'r ARGLWYDD [a] yn ddau ddyblyg am ei holl bechodau.

† Neu, *yn cysurus wrth Jer.*
‡ Neu, *hamser nodedig.*
[a] Edrych Pen. 61. 7.

3 ¶ [b] Llef un yn llefain yn yr anialwch, [c] Parottowch ffordd yr ARGLWYDD, unionwch lwybr i'n DUW ni yn y diffaethwch.

[b] Mat. 3. 3. Marc 1. 3. Luc 3. 4. Ioan 1. 23.
[c] Mal. 3. 1.

4 Pob pant a gyfodir, a phob mynydd a bryn a ostyngir: y gŵyr a wneir yn uniawn, a'r anwastad yn wastadedd.

5 A gogoniant yr ARGLWYDD a ddatguddir, a phob cnawd ynghŷd a'i gwel; canys genau'r ARGLWYDD a lefarodd *hyn.*

6 Y llef a ddywedodd, Gwaedda. Yntau a ddywedodd, Beth a waeddaf? [d] Pob cnawd sydd wellt, a'i holl odidowgrwydd fel blodeuyn y maes.

[d] Job 14. 2. Psal. 90. 5. a 102. 11. a 103. 15. Iago 1. 10. 1 Petr 1. 24.

7 Gwywa'r gwelltyn, syrth y blodeuyn; canys yspryd yr ARGLWYDD a chwŷthodd arno: gwellt yn ddïau *yw*'r bobl.

8 Gwywa'r gwelltyn, syrth y blodeuyn; ond [e] gair ein DUW ni a saif byth.

[e] Job 12. 34. 1 Petr 1. 25.

9 ¶ Dring rhagot, yr § efangyles Sïon, i fynydd uchel; dyrchafa dy lef trwy nerth, O efangyles Jerusalem: dyrchafa, nac ofna; dywed wrth ddinasoedd Judah, Wele eich DUW chwi.

§ Neu, *hon wyt yn efengylu i Sïon, &c.*

10 Wele 'r Arglwydd DDUW a ddaw ‖ yn erbyn y cadarn, a'i fraich a lywodraetha drosto: wele [f] ei wobr gyd ag ef, a'i † waith o'i flaen.

‖ Neu, *â llaw gadarn.*
[f] Pen. 62. 11.
† Neu, *dâl am ei waith.*

11 [g] Fel bugail y portha efe ei braidd; â'i fraich y casgl ei ŵyn, ac a'u dwg yn ei fynwes, *ac* a goledda'r ‡ mammogiaid.

[g] Pen. 40. 9, 10. Ezec. 34. 23. Ioan 10. 11.
‡ Neu, *cyfebron.*

12 ¶ [h] Pwy a fesurodd y dyfroedd yn ei ddwrn, ac a fesurodd y nefoedd â'i rychwant, ac a gymhwysodd bridd y ddaear mewn mesur, ac a bwysodd y mynyddoedd mewn pwysau, a'r bryniau mewn cloriannau?

[h] Diar. 30. 4.

13 [i] Pwy a gyfarwyddodd yspryd yr ARGLWYDD, ac yn wr o'i gyngor a'i cyfarwyddodd ef?

[i] Job 21. 22. a 36. 22, 23. Doeth. 9. 13. Rhuf. 11. 34. 1 Cor. 2. 16.

14 A phwy 'r ymgynghorodd efe, ïe *pwy* § a'i cyfarwyddodd, ac a'i dysgodd yn llwybr barn, ac a ddysgodd iddo wybodaeth, ac a ddangosodd iddo ffordd dealldwriaeth?

§ Heb. *a wnaeth iddo ddeall.*

15 Wele, y cenhedloedd a gyfrifwyd fel defnyn o gelwrn, ac fel mân-lwch y cloriannau; wele, fel brycheuyn y cymmer efe'r ynysoedd i fynu.

16 Ac nid digon Libanus i gynneu *tân*; nid digon ei fwystfilod chwaith yn boethoffrwm.

17 Yr holl genhedloedd *ydynt* megis [k] diddym ger ei fron ef; yn llai nâ dim, ac *nâ* gwagedd, y cyfrifwyd hwynt ‖ ganddo.

[k] Dan. 4. 35.
‖ *wrtho.*

18 ¶ [l] I bwy gan hynny y cyffelybwch DDUW? a pha ddelw a osodwch iddo?

[l] Pen. 46. 5. Act. 17. 29.

19 [m] Y crefftwr a dawdd gerf-ddelw, a'r eurych a'i goreura, ac a dawdd gadwyni arian.

[m] Pen. 41. 6. a 44. 12. Jer. 10. 3.

20 Yr hwn *sydd* dlawd ei offrwm a ddewis bren ni phydra; efe a gais atto saer cywraint, i barottôi cerf-ddelw *yr hon* ni syfl.

21 Oni wybuoch? oni chlywsoch? oni fynegwyd i chwi o'r dechreuad? oni ddeallasoch er seiliad y ddaear?

22 Efe sydd yn eistedd ar amgylchoedd y ddaear, a'i thrigolion *sydd* fel locustiaid; [n] yr hwn a daena 'r nefoedd fel llenn, ac a'i lleda fel pabell i drigo *ynddi*:

[n] Job 9. 8. Psal. 104. 2. Pen. 44. 24. Jer. 10. 12.

23 [o] Yr hwn a wna lywodraethwŷr yn ddiddym; fel gwagedd y gwna efe farnwŷr y ddaear.

[o] Job 12. 21. Psal. 107. 40.

24 Ië ni phlennir hwynt, ni's heuir chwaith; ei foncyff hefyd ni wreiddia yn y ddaear: ac efe a chwŷth arnynt, a hwy a

wywant, a chorwŷnt a'u dwg hwynt ymaith
fel soft.
25 I bwy gan hynny y'm cyffelybwch, ac
y'm cystedlir, medd y Sanct?
26 Dyrchefwch eich llygaid i fynu, ac
edrychwch pwy a greodd *y rhai* hyn, a
ddwg eu llu hwynt allan mewn rhifedi:
p Psal. 147. 4. [p] efe a'u geilw hwynt oll wrth eu henwau;
gan amlder *ei* rym *ef*, a'i gadarn allu, ni
phalla un.
27 Pa ham y dywedi, Jacob, ac y lleferi,
Israel, Cuddiwyd fy ffordd oddi wrth yr ARGLWYDD, a'm barn a aeth heibio i'm DUW?
28 ¶ Oni wyddost, oni chlywaist, na
ddiffygia ac na flina DUW tragywyddoldeb,
yr ARGLWYDD, Creawdr cyrrau'r ddaear?
q Psal. 147. 5. [q] ni ellir chwilio allan ei synwyr ef.
29 Yr hwn a rydd nerth i'r diffygiol, ac a
amlhâ gryfder i'r dirym.
30 Canys yr ieuengctid a ddiffygia ac a
flina, a'r gwŷr ieuaingc gan syrthio a syrthiant:
31 Eithr y rhai a obeithiant yn yr AR-
r Psal. 103. 5. GLWYDD [r] a † adnewyddant *eu* nerth;
ehedant fel eryrod; rhedant ac ni flinant;
† Heb. *newidiant.* rhodiant ac ni ddiffygiant.

## PEN. XLI.

Rhagf. 14. B. Sul 2 ar ol y Nadolig, B. 1 *Duw yn ym-ymliw â'i bobl, ynghylch ei drugareddau i'w eglwys, 10 a'i addewidion; 21 ac ynghylch oferedd delwau ac eilunod.*

Cylch 712.

DISTÊWCH, ynysoedd, ger fy mron;
adnewydded y cenhedloedd *eu* nerth:
deuant yn nes, yna llefarant; cyd-nesâwn i
farn.
† Heb. *gyfiawnder.* 2 Pwy a gyfododd † y cyfiawn o'r dwy-
rain, a'i galwodd at ei droed, [a] a roddodd y
a Edrych Gen. 14. 14, &c. cenhedloedd o'i flaen ef, ac a wnaeth *iddo*
lywodraethu ar frenhinoedd? efe a'u rhoddodd *hwynt* fel llwch i'w gleddyf, *ac* fel soft
gwasgaredig i'w fwa ef.
3 Y mae efe yn eu herlid hwynt, *ac* yn
‡ Heb. *mewn heddwch.* myned ‡ yn ddïogel; *ar hŷd* llwybr ni
cherddasai efe â'i draed.
4 Pwy a weithredodd ac a wnaeth *hyn*,
gan alw'r cenhedlaethau o'r dechreuad?
b Pen. 43. 10. a 44. 6. a 48. 12. Dat. 1. 17. a 22. 13. Myfi'r ARGLWYDD [b] y cyntaf, myfi hefyd
*fydd* gyd â'r diweddaf.
5 Yr ynysoedd a welsant, ac a ofnasant;
eithafoedd y ddaear a ddychrynasant, a nesasant, ac a ddaethant.
c Pen. 40. 19. a 44. 12. 6 [c] Pob un a gynnorthwyodd ei gymmy-
dog, ac a ddywedodd wrth ei frawd, Ymgryfhâ.
§ Neu, *y rhoddwr.*
7 Felly'r saer a gysurodd § yr eurych,
‖ Neu, *gan ddywedyd am yr asiad, Da yw.* a'r morthwyliwr yr hwn oedd yn taro ar
yr einion, ‖ gan ddywedyd, *Y mae* yn barod
i'w asio; ac efe a'i sicrhaodd â hoelion, *fel*
nad ysgogir.
d Deut. 7. 6. a 10. 15. a 14. 2. Psal. 135. 4. Pen. 43. 1. a 44. 1. 8 Eithr ti, Israel, fy ngwas *ydwyt* ti, Ja-
cob yr hwn a [d] etholais, had Abraham fy
[e] anwylyd.
9 *Ti* yr hwn a gymmerais o eithafoedd y
e 2 Chron. 20. 7. Iago 2. 23. ddaear, ac y'th elwais oddi wrth ei phendefigion, ac y dywedais wrthyt, Fy ngwas *wyt*
ti; dewisais di, ac ni'th wrthodais.
10 ¶ Nac ofna; canys *yr ydwyf* fi gyd â
thi: na lwfrhâ; canys myfi *yw* dy DDUW:
f Exod. 23. 22. Pen. 45. 24. a 60. 12. Zech. 12. 3. cadarnhâf di, cynnorthwyaf di hefyd, a chynhaliaf di â deheulaw fy nghyfiawnder.
11 Wele, [f] cywilyddir a gwaradwyddir
*y rhai* oll a lidiasent wrthyt: † dy wrth-
† Heb. *gwŷr dy gynnen.* wynebwŷr a fyddant megis diddym, ac a
ddifethir.

12 Ti a'u ceisi, ac ni's cei hwynt, *sef* ‡ y ‡ Heb. *gwŷr dy ymryson.*
dynion a ymgynhennasant â thi: § y gwŷr a
ryfelant â thi fyddant megis diddym, a me- § Heb. *gwŷr dy ryfel.*
gis peth heb ddim.
13 Canys myfi'r ARGLWYDD dy DDUW
a ymaflaf yn dy ddeheulaw, a ddywed wrthyt, Nac ofna, myfi a'th gynnorthwyaf.
14 Nac ofna, di bryf Jacob, gwŷr Israel; myfi a'th gynnorthwyaf, medd yr
ARGLWYDD, a'th waredydd, Sanct Israel.
15 Wele, [g] gosodaf di yn fenn-ddyrnu g Mich. 4. 13. 2 Cor. 10. 4, 5.
newydd ‖ ddanheddog; y mynyddoedd a
ddyrni ac a feli, gosodi hefyd y bryniau
fel † mwlwg. ‖ Heb. *safnog.*
16 Nithi hwynt, a'r gwŷnt a'u dwg ym-
aith, a'r corwynt a'u gwasgar hwynt: a thi † Neu, *us.*
a lawenychi yn yr ARGLWYDD, yn Sanct
Israel y gorfoleddi.
17 *Pan* geisio'r trueiniaid a'r tlodion
ddwfr, ac ni's *cânt*; *pan* ballo eu tafod
o syched, myfi'r ARGLWYDD a'u gwrandawaf hwynt, *myfi* DUW Israel ni's gadawaf
hwynt.
18 [h] Agoraf afonydd ar leoedd uchel, a h Pen. 35. 6, 7. a 43. 19. a 44. 3.
ffynhonnau ynghanol y dyffrynoedd: gwnaf
[i] y diffaethwch yn llynn dwfr, a'r crasdir i Psal. 107. 35.
yn ffrydiau dyfroedd.
19 Gosodaf yn yr anialwch y cedrwŷdd,
sittah, myrtwŷdd, ac olewŷdd; gosodaf yn
y diffaethwch ffynnidwŷdd, ffawŷdd, a'r
pren box ynghŷd;
20 Fel y gwelont, ac y gwybyddont, ac yr
ystyriont, ac y deallont ynghŷd mai llaw'r
ARGLWYDD a wnaeth hyn, a Sanct Israel
a'i creodd.
21 Deuwch yn nes â'ch cwyn, medd yr
ARGLWYDD; dygwch eich *rhesymmau* cadarnaf medd brenhin Jacob.
22 [k] Dygant *hwynt* allan, a mynegant i k Pen. 45. 21.
ni'r pethau a ddigwyddant: mynegwch y
pethau gynt beth *ydynt*, fel ‡ yr ystyriom, ‡ Heb. *y gosodom ein calon arnynt.*
ac y gwypom eu diwedd hwynt; neu
traethwch i ni y pethau a ddaw.
23 Mynegwch y pethau a ddaw ar ol *hyn*,
fel y gwypom mai duwiau *ydych* chwi;
[l] gwnewch hefyd dda neu ddrwg, fel y l Jer. 10. 5.
synno arnom, ac y gwelom ynghŷd.
24 Wele, [m] peth heb ddim *ydych* chwi, m Pen. 44. 9. 1 Cor. 8. 4.
a'ch gwaith sydd § ddiddym: ffiaidd *yw'r*
*gwr* a'ch dewiso chwi.
25 Cyfodais *un* o'r gogledd, ac efe a ddaw: § Neu, *waeth nâ'r eiddo gwiber.*
o gyfodiad haul y geilw efe ar fy enw; ac
efe a ddaw ar dywysogion fel *ar* glai, ac fel
y sathr crochenydd bridd.
26 Pwy a fynegodd o'r dechreuad, fel y
gwybyddom? ac ym mlaen llaw, fel y dywedom, Cyfiawn *yw?* nid *oes* a fynega, nid
*oes* a draetha chwaith, ac nid *oes* a glyw eich
ymadroddion.
27 Y cyntaf *a ddywed* wrth Sïon, Wele,
wele hwynt; rhoddaf hefyd efangylwr i Jerusalem.
28 Canys edrychais, ac nid *oedd* neb, ïe
yn eu plith, ac nid *oedd* gynghorwr, pan
ofynais iddynt, a fedrai ‖ atteb gair. ‖ Heb. *ddychwelyd.*
29 Wele, hwynt oll *ydynt* wagedd; a'u
gweithredoedd yn ddiddym: gwŷnt a gwagedd *yw* eu tawdd-ddelwau.

## PEN. XLII.

1 *Swydd Crist, ynghŷd â'i larieidd-dra a'i ddiunwadalwch. 5 Addewid Duw iddo ef. 10 Y mae yn annog i foliannu Duw am ei efengyl: 17 ac yn beio ar y bobl am eu hanghrediniaeth.* Rhagf. 14. P.

Cylch 712. WELE [a] fy ngwas, yr hwn yr ydwyf yn
ei gynnal; fy etholedig, *i'r hwn* y
mae fy enaid [b] yn foddlon: [c] rhoddais fy
yspryd arno; efe a ddwg allan farn i'r cen-
hedloedd.
2 Ni waedda, ac ni ddyrchafa, ac ni phair
glywed ei lef yn yr heol.
3 Ni ddryllia gorsen ysig, ac ni ddiffydd
lin yn † mygu: efe a ddwg allan farn at
wirionedd.
4 Ni phalla efe, ac ni ddigalonna, hyd oni
osodo farn ar y ddaear; yr ynysoedd hefyd
a ddisgwyliant am ei gyfraith ef.
5 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
DDUW, [d] creawdydd y nefoedd a'i hestyn-
ydd; lledydd y ddaear a'i chnwd; rhodd-
ydd anadl i'r bobl arni, ac yspryd i'r rhai a
rodiant ynddi:
6 Myfi'r ARGLWYDD a'th elwais mewn
cyfiawnder, ac ymaflaf yn dy law, [e] cadwaf
di hefyd, a rhoddaf di yn gyfammod pobl,
ac [f] yn oleuni Cenhedloedd;
7 [g] I agoryd llygaid y deillion, i ddwyn
allan y carcharor o'r carchar, *a'r* rhai a
eisteddant *mewn* [h] tywyllwch o'r car-
chardy.
8 Myfi *yw* yr ARGLWYDD; dyma fy enw:
[i] a'm gogoniant ni roddaf i arall, na'm
mawl i ddelwau cerfiedig.
9 Wele'r pethau o'r blaen a ddaethant i
ben, a mynegi'r ydwyf fi bethau ne-
wydd; traethaf *hwy* i chwi cyn eu tarddu
allan.
10 [k] Cenwch i'r ARGLWYDD gân ne-
wydd, *a'i* fawl ef o eithaf y ddaear; y rhai
a ddisgynwch i'r môr, ‡ ac sydd ynddo; yr
ynysoedd a'u trigolion.
11 Y diffaethwch a'i ddinasoedd, dyr-
chafant *eu llef*, y maes-drefi a breswylia
Cedar; caned preswylwŷr y graig, bloedd-
iant o ben y mynyddoedd.
12 Rhoddant ogoniant i'r ARGLWYDD, a
mynegant ei fawl yn yr ynysoedd.
13 Yr ARGLWYDD a â allan fel cawr,
fel rhyfelwr y cyffry eiddigedd; efe a
waedda, ïe, efe a rua; *ac* a § fydd trech
na'i elynion.
14 Tewais er ys talm, distewais, ymat-
teliais; llefaf fel gwraig yn esgor, difwynaf,
a ‖ difethaf ar unwaith.
15 Mi a wnaf y mynyddoedd a'r bryniau
yn ddiffaethwch, a'u holl wellt a wywaf; ac
a wnaf yr afonydd yn ynysoedd, a'r llynn-
oedd a sychaf.
16 Arweiniaf y deilliaid ar hŷd ffordd nid
adnabuant; a gwnaf iddynt gerdded ar
hŷd llwybrau ni adnabuant; gwnaf dy-
wyllwch yn oleuni o'u blaen hwynt, a'r pe-
thau ceimion yn uniawn. Dyma'r pethau a
wnaf iddynt, ac ni's gadawaf hwynt.
17 ¶ [l] Troir yn eu hol, *a* llwyr-wara-
dwyddir y rhai a ymddiriedant mewn del-
wau cerfiedig, y rhai a ddywedant wrth y
delwau tawdd, Chwi *yw* ein duwiau ni.
18 O fyddariaid, gwrandêwch; a'r deill-
ion, edrychwch i weled.
19 [m] Pwy *sydd* ddall ond fy ngwas i?
neu fyddar fel fy nghennad a anfonais?
pwy mor ddall a'r perffaith, a dall fel gwas
yr ARGLWYDD?
20 *Er* gweled llawer, [n] etto nid ystyri; *er*
agoryd clustiau, etto ni wrendy.
21 Yr ARGLWYDD sydd foddlon er mwyn
ei gyfiawnder, efe a fawrhâ'r gyfraith, ac a'i
gwna yn anrhydeddus.
22 Etto dyma bobl a yspeiliwyd, ac a

[a] Pen. 49. 3. Mat. 12. 18. [b] Mat. 3. 17. a 17. 5. Eph. 1. 6. [c] Pen. 11. 2. Ioan 3. 34. † Neu, *yn llosgi yn dywyll.* [d] Pen. 44. 24. Zech. 12. 1. [e] Pen. 49. 8. [f] Pen. 49. 6. Luc 2. 32. Act. 13. 47. [g] Pen. 35. 5. a 61. 1. Luc 4. 18. Heb. 2. 14, 15. [h] Pen. 9. 2. [i] Pen. 48. 11. [k] Psal. 33. 3. a 40. 3. a 98. 1. ‡ Heb. *a'i gyflawnder.* § Heb. *ymnerthola, neu, a fydd gwrol yn erbyn ei, &c.* ‖ Heb. *llyngcaf.* [l] Psal. 97. 7. Pen. 1. 29. a 44. 11. a 45. 16. [m] Pen. 43. 8. Ezec. 12. 2. Edrych Ioan 9. 39, 41. [n] Rhuf. 2. 22.

anrheithiwyd: † hwy a faglwyd oll mewn
tyllau, mewn carchardai hefyd y cuddiwyd
hwynt: y maent yn yspail, ac heb wared-
ydd; yn ‡ anrhaith, ac heb a ddywedai,
Dyro yn ei ol.
23 Pwy o honoch a wrendy hyn? *pwy*
a ystyr, ac a glyw erbyn § yr amser a
ddaw?
24 Pwy a roddes Jacob yn anrhaith, ac
Israel i'r yspeilwŷr? onid yr ARGLWYDD,
yr hwn y pechasom i'w erbyn? canys ni
fynnent rodio yn ei ffyrdd, ac nid ufudd-
haent i'w gyfraith.
25 Am hynny y tywalltodd efe arno lid-
iowgrwydd ei ddigter, a chryfder rhyfel:
efe a'i hennynodd oddi amgylch, ond ni
wybu efe; llosgodd ef hefyd, ond nid
ystyriodd.

† Neu, *yn maglu eu holl wŷr ieuaingc hwynt mewn cnch. &c.* ‡ Heb. *sathrfa.* § Heb. *yr amser ar ol.*

## PEN. XLIII.

1 *Yr Arglwydd yn cysuro ei eglwys â'i addew-
idion: 8 yn appelio at y bobl, i fod yn dyst-
ion o'i holl-alluogrwydd: 14 yn rhag-fynegi
iddynt ddinystr Babilon, 18 a rhyfeddol
ymwared ei bobl: 22 yn argyoeddi'r bobl
megis rhai diesgus.*

Rhagf. 15. B. Sul 2 ar ol y Nadolig, P.

OND yr awr hon fel hyn y dywed yr Cylch
ARGLWYDD [a] dy greawdr di, Jacob, 712.
a'th luniwr di, Israel, Nac ofna; canys
gwaredais di: gelwais *di* erbyn dy enw;
eiddof fi *ydwyt*.
2 Pan [b] elych trwy'r dyfroedd, myfi *a*
*fyddaf* gyd â thi; a thrwy'r afonydd, *fel* na
lifant drosot: pan rodiech trwy'r tân, ni'th
losgir; ac ni ennyn y fflam arnat.
3 Canys myfi *yw*'r ARGLWYDD dy
DDUW, Sanct Israel dy waredydd: [c] myfi a
roddais yr Aipht yn iawn trosot, Ethiopia a
Seba am danat.
4 Er pan aethost yn werthfawr yn fy
ngolwg, y'th ogoneddwyd, a mi a'th
hoffais; am hynny y rhoddaf ddynion
am danat ti, a phobloedd dros dy einioes
di.
5 [d] Nac ofna; canys *yr ydwyf* fi gyd â
thi: o'r dwyrain y dygaf dy had, ac o'r
gorllewin y'th gasglaf.
6 Dywedaf wrth y gogledd, Dod; ac
wrth y dehau, Nac attal: dwg fy meib-
ion o bell, a'm merched o eithaf y
ddaear:
7 *Sef* pob un a elwir ar fy enw: canys
[e] i'm gogoniant y creais ef, y lluniais ef, ac
y gwneuthum ef.
8 ¶ Dwg allan [f] y bobl ddall sydd a lly-
gaid iddynt, a'r byddariaid sydd a chlustiau
iddynt.
9 Casgler yr holl genhedloedd ynghŷd, a
chynhuller y bobloedd; [g] pwy yn eu mysg
a fynega hyn, ac a draetha i ni y pethau
o'r blaen? dygant eu tystion, fel y cyfiawn-
hâer hwynt; neu wrandawant, a dywedant,
Gwir *yw*.
10 [h] Fy nhystion i *ydych* chwi, medd yr
ARGLWYDD, a'm gwas yr hwn a ddewis-
ais; fel yr adnabyddoch, ac y credoch fi,
ac y dealloch [i] mai myfi *yw*: o'm blaen
nid *oedd* † duw wedi ei ffurfio, ac ni bydd ar
fy ol.
11 Myfi, myfi [k] *yw*'r ARGLWYDD; ac
nid *oes* geidwad ond myfi.
12 Myfi a fynegais, ac a achubais, ac a
ddangosais, pryd nad *oedd duw* dïeithr yn
eich mysg: am hynny chwi *ydych* fy nhyst-
ion (medd yr ARGLWYDD) mai myfi *sydd*
DDUW.

[a] Adn. 7. [b] Psal. 66. 12. [c] Diar. 11. 1. a 21. 18. [d] Pen. 41. 1, 2. Jer. 30. 10. a 46. 27. [e] Psal. 100. 3. Pen. 29. 23. Ioan 3. 3, 5. 2 Cor. 5. 17. Eph. 2. 10. [f] Pen. 42. 19. Ezec. 12. 2. [g] Pen. 41. 21, 22. [h] Pen. 44. 8. [i] Pen. 41. 4. a 44. 8. † Neu, *dim wedi ei ffurfio gan Dduw.* [k] Pen. 41. 21. Hos. 13.

13 Ië, cyn *bod* dydd *yr ydwyf* fi: ac nid *oes* a wared o'm llaw: gwnaf, a phwy a'i [l] † lluddia?

14 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, eich gwaredydd chwi, Sanct Israel, Er eich mwyn chwi'r anfonais i Babilon, ac y tynnais i lawr eu holl ‡ bennaduriaid, a'r Caldeaid, *sydd* a'u bloedd mewn llongau.

15 Myfi'r ARGLWYDD *yw* eich Sanct chwi, creawdydd Israel, eich brenhin chwi.

16 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, yr hwn [m] a wna ffordd yn y môr, a [n] llwybr yn y dyfroedd cryfion;

17 Yr hwn [o] a ddwg allan y cerbyd a'r march, y llu a'r cryfder; cyd-orweddant, ni chodant: darfuant, fel llin y diffoddasant.

18 ¶ [p] Na chofiwch y pethau o'r blaen, ac nac ystyriwch y pethau gynt.

19 Wele fi yn gwneuthur [q] peth newydd; yr awr hon y dechreu; oni chewch ei wybod? [r] Gwnaf ffordd yn yr anialwch, *ac* afonydd yn y diffaethwch.

20 Bwystfil y maes, y dreigiau, a § chywion yr estrys, a'm gogoneddant; am [s] roddi o honof ddwfr yn yr anialwch, *a'r* afonydd yn y diffaethwch, i roddi diod i'm pobl, fy newisedig.

21 [t] Y bobl hyn a luniais im' fy hun; fy moliant a fynegant.

22 ¶ Eithr ni elwaist arnaf, Jacob; ond blinaist arnaf, Israel.

23 [u] Ni ddygaist im' ‖ filod dy offrymmau poeth, ac ni'm hanrhydeddaist â'th ebyrth. ni pherais it' fy ngwasanaethu ag offrwm, ac ni'th flinais ag arogl-darth.

24 Ni phrynaist im' galamus ag arian, ac ni'm † llenwaist â brasder dy ebyrth: eithr ti a wnaethost i mi wasanaethu â'th bechodau, [x] blinaist fi â'th anwireddau.

25 Myfi, myfi *yw*'r hwn a ddilea dy gamweddau, [y] er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau.

26 Dwg ar gof im', [z] cyd-ymddadleuwn: adrodd di, fel y'th gyfiawnhâer.

27 Dy dad cyntaf a bechodd, a'th ‡ athrawon a wnaethant gamwedd i'm herbyn.

28 Am hynny [a] yr halogais § dywysogion y cyssegr, ac y rhoddais Jacob yn ddiofrydbeth, ac Israel yn waradwydd.

[l] Job 9. 12. Pen. 14. 27.
† Heb. *dychwel.*
‡ Heb. *barrau,* neu, *ffoaduriaid.*
[m] Exod. 14. Pen. 51. 10.
[n] Jos. 3. 14.
[o] Exod. 14. 4–9. 23.
[p] Jer. 16. 14. a 23. 7.
[q] 2 Cor. 5. 17. Dat. 21. 5.
[r] Exod. 17. 6. Num. 20. 11. Psal. 78. 16. Pen. 35. 6.
§ Heb. *merched.*
[s] Pen. 48. 21.
[t] Psal. 102. 18.
[u] Amos 5. 25.
‖ Heb. *oen,* neu, *fynnod.*
† Heb. *meddwaist,* neu, *llwyrfwydaist.*
[x] Pen. 1. 14. Mal. 2. 17.
[y] Pen. 48. 9. Ezec. 36. 22, &c.
[z] Pen. 1. 18.
‡ Heb. *lladmeryddion.*
[a] Pen. 47. 6.
§ Neu, *y tywysogion sanctaidd.*

## PEN. XLIV.

1 *Duw yn cysuro ei eglwys â'i addewidion.* 7 *Gwagedd ac oferedd eilunod;* 9 *ac ynfydrwydd y rhai a'u gwna.* 21 *Y mae yn annog i foliannu Duw am ei ymwared, ac am ei Holl-alluogrwydd.*

Rhagf. 15. P. Sul 1 ar ol yr Ystwyll, B.

Cylch 712.

AC yn awr gwrando, [a] Jacob fy ngwas, ac Israel yr hwn a ddewisais.

2 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, [b] yr hwn a'th wnaeth, ac a'th luniodd o'r groth, efe a'th gynnorthwya: Nac ofna, fy ngwas Jacob; a thi [c] Jesurun, yr hwn a ddewisais.

3 Canys [d] tywalltaf ddyfroedd ar y sychedig, a ffrydiau ar y sychdir: tywalltaf fy yspryd ar dy had, a'm bendith ar dy hiliogaeth:

4 A hwy a dyfant *megis* ym mysg glaswellt, fel helyg wrth ffrydiau dyfroedd.

5 Hwn a ddywed, Eiddo'r ARGLWYDD *ydwyf* fi; a'r llall a'i geilw *ei hun* ar enw Jacob; ac arall a 'sgrifena â'i law, Eiddo'r ARGLWYDD *ydwyf*, ac a *ym*gyfenwa ar enw Israel.

6 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, brenhin Israel a'i waredydd, ARGLWYDD y lluoedd, [e] Myfi *yw* y cyntaf, diweddaf *ydwyf* fi hefyd, ac nid *oes* Duw ond myfi.

7 [f] Pwy hefyd, fel fi, a eilw, a fynega, ac a esyd hyn yn drefnus i mi, er pan osodais yr hen bobl? neu mynegant iddynt y pethau sy ar ddyfod, a'r pethau a ddaw.

8 Nac ofnwch, ac nac arswydwch; onid er hynny o amser y traethais it', ac y mynegais? [g] *a'm* tystion *ydych* chwi. A oes Duw ond myfi? ïe [h] nid *oes* † Duw: nid adwaen i *yr un.*

9 ¶ [i] Oferedd *ydynt* hwy oll y rhai a luniant ddelw gerfiedig, ni wna eu pethau ‡ dymunol lesâd: tystion *ydynt* iddynt eu hun, [k] na welant, ac na wyddant; fel y byddo cywilydd arnynt.

10 Pwy a luniai dduw, neu a fwriai ddelw gerfiedig, [l] heb wneuthur dim lles?

11 Wele, ei holl gyfeillion [m] a gywilyddir, y seiri hefyd o ddynion *y maent:* casgler hwynt oll, safant i fynu; *etto* hwy a ofnant, *ac* a gyd-gywilyddiant.

12 [n] Y gof § â'r efail a weithia yn y glo, ac a'i llunia â morthwylion, ac â nerth ei fraich y gweithia efe hi: newynog *yw* hefyd, a'i nerth a balla; nid ŷf ddwfr, ac y mae yn diffygio.

13 Y saer pren a estyn *ei* linyn; efe a'i llunia hi wrth linyn *coch;* efe a'i cymhwysa hi â bwyill, ac a'i gweithia wrth gwmpas, ac a'i gwna ar ol delw dyn, fel prydferthwch dyn, i aros *mewn* tŷ.

14 Efe a dyrr iddo gedrwŷdd, ac a gymmer y cypres-wŷdden a'r dderwen, ac ‖ a ymegnïa ym mysg prennau'r coed; efe a blanna onnen, a'r gwlaw a'i maetha.

15 Yna y bydd i ddyn i gynneu *tân:* canys efe a gymmer o honi, ac a ymdwymna; ïe efe a'i llysg, ac a boba fara; gwna hefyd dduw, ac *a'i* haddola *ef;* gwna ef yn ddelw gerfiedig, ac a ymgrymma iddo.

16 Rhan o hono a lysg efe yn tân; wrth ran o hono y bwytty gig, y rhostia rost, fel y diwaller ef: efe a ymdwymna hefyd, ac a ddywed, Aha, ymdwymnais, gwelais dân.

17 A'r rhan arall yn dduw y gwna, yn ddelw gerfiedig iddo; efe a ymgrymma iddo, ac a'i haddola, ac a weddïa arno, ac a ddywed, Gwared fi; canys fy nuw *ydwyt.*

18 [o] Ni wyddant, ac ni ddeallant; canys *DUW* a † gauodd eu llygaid hwynt rhag gweled, *a'u* calonnau rhag deall.

19 Ië ni [p] ‡ feddwl *neb* yn ei galon, ïe nid *oes* wybodaeth na deall i ddywedyd, Llosgais ran o hono yn tân, ac ar ei farwor y pobais fara, y rhostiais gig, ac y bwytteais; ac a wnaf fi y rhan arall yn ffieiddbeth? a ymgrymmaf § i foncyff o bren?

20 Ymborth ar ludw y mae; [q] calon siommedig a'i gŵyr-drodd ef, fel na waredo ei enaid, ac na ddywedo, Onid *oes* celwydd yn fy neheulaw?

21 ¶ Meddwl hyn, Jacob ac Israel; canys fy ngwas *ydwyt* ti; lluniais di, gwas i mi *ydwyt;* Israel, ni'th anghofir gennyf.

22 Dileais dy gamweddau fel cwmmwl, a'th bechodau fel niwl: dychwel attaf fi; canys myfi a'th waredais di.

23 [r] Cenwch, nefoedd: canys yr ARGLWYDD a wnaeth *hyn:* bloeddiwch, gwaelodion y ddaear; bloeddiwch ganu,

[a] Pen. 41. 8. a 43. 1. Jer. 30. 10. a 46. 27.
[b] Pen. 43. 7.
[c] Deut. 32. 15.
[d] Pen. 35. 7. Joel 2. 28. Ioan 7. 38. Act. 2. 18.
[e] Pen. 41. 4. a 48. 12. Dat. 1. 8, 17. a 22. 13.
[f] Pen. 45. 21.
[g] Pen. 43. 10.
[h] Deut. 4. 35, 39. a 32. 39. 1 Sam. 2. 2. Pen. 45. 5.
† Heb. *craig.*
[i] Pen. 41. 29.
‡ Neu, *hyfryd.*
[k] Psal. 115. 4, &c.
[l] Hab. 2. 18.
[m] Psal. 97. 7. Pen. 1. 29. a 42. 17. a 45. 16.
[n] Pen. 40. 19. a 41. 6. Jer. 10. 3. Doeth. 13. 11.
§ Neu, *a weithia fwyall.*
‖ Neu, *a'i cadarnha.*
[o] Pen. 45. 20.
† Neu, *ddallodd.*
[p] Pen. 46. 8.
‡ Heb. *esyd neb at galon.*
§ Heb. *i'r hyn a ddaw o bren?*
[q] Hos. 4. 12.
[r] Psal. 69. 34. a 96. 11, 12. Pen. 42. 10. a 49. 13. Jer. 51. 48. Dat. 18. 20.

fynyddoedd, y coed a phob pren ynddo:
canys gwaredodd yr ARGLWYDD Jacob, ac
yn Israel yr ymogoneddа efe.
24 Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD
dy waredydd, [s] a'r hwn a'th luniodd o'r
groth, Myfi *yw* 'r ARGLWYDD sydd yn gw-
neuthur pob *peth*, [t] yn estyn y nefoedd fy
hunan, yn lledu 'r ddaear o honof fy hun:
25 [u] Yn diddymmu arwyddion y rhai
celwyddog, ac yn ynfydu dewiniaid; yn
troi 'r doethion yn eu hol, ac yn gwneuthur
eu gwybodaeth yn ynfyd:
26 Yr hwn a gyflawna air ei was, ac a
gwblhâ gyngor ei genhadon; yr hwn a
ddywed wrth Jerusalem, Ti a breswylir; ac
wrth ddinasoedd Judah, Chwi a adeiledir, a
chyfodaf ei † hadwyau:
27 [x] Yr hwn wyt yn dywedyd wrth y
dyfnder, Bydd sych; a mi a sychaf dy
afonydd:
28 [y] Yr hwn wyf yn dywedyd wrth
Cyrus, Fy mugail *yw*, ac efe a gyflawna fy
holl ewyllys: gan ddywedyd wrth Jerusa-
lem, [z] Ti a adeiledir; ac wrth y deml, Ti a
sylfeinir.

[s] Pen. 43. 1.
[r] Job 9. 8. Psal. 104. 2. Pen. 40. 22. a 42. 5. a 44. 12. a 51. 13.
[u] Pen. 47. 13.
† Heb. *diffaethfaoedd.*
[x] Edrych Jer. 50. 38. a 51. 32, 36.
[y] 2 Chron. 36. 22, 23. Ezra 1. 1, &c.
[z] Pen. 45. 13.

## PEN. XLV.

1 *Duw yn galw Cyrus er mwyn ei eglwys: 5 yn gofyn ufudd-dod am ei fod yn holl-alluog: 20 yn dangos ofered ydyw eilunod, wrth ei allu yn ymwared.*

FEL hyn y dywed yr ARGLWYDD wrth
ei enneiniog, wrth Cyrus, yr hwn
† yr ymaflais i yn ei ddeheulaw, i ddar-
ostwng cenhedloedd o'i flaen ef: a mi
a ddattodaf lwynau brenhinoedd; i a-
goryd y dorau o'i flaen ef, a'r pyrth ni
cheuir:
2 Mi a af o'th flaen di, ac a unionaf y
gŵyr-geimion; y dorau pres a dorraf, a'r
barrau heiyrn a ddrylliaf:
3 Ac a roddaf i ti drysorau cuddiedig, a
chuddfeydd dirgel, fel y gwypech mai myfi
yr ARGLWYDD, yr hwn [a] a'*th* alwodd erbyn
dy enw, *yw* DUW Israel.
4 Er mwyn Jacob fy ngwas, ac Israel fy
etholedig, y'th elwais erbyn dy enw: mi a'th
gyfenwais, er na'm hadwaenit:
5 ¶ [b] Myfi *ydwyf* yr ARGLWYDD, ac
[c] nid arall, nid *oes* DUW ond myfi; gwre-
gysais di, er na'm hadwaenit:
6 Fel y gwypont o godiad haul, ac o'r
gorllewin, nad neb ond myfi: myfi *yw* 'r
ARGLWYDD, ac nid arall:
7 Yn llunio goleuni, ac yn crëu tywyll-
wch; yn gwneuthur llwyddiant, ac [d] yn
crëu drygfyd: myfi 'r ARGLWYDD sydd yn
gwneuthur hyn oll.
8 [e] Defnynwch, nefoedd, oddi uchod, a
thywallted yr wybrennau gyfiawnder; yma-
gored y ddaear, ffrwythed iachawdwriaeth
a chyfiawnder, cyd-darddant: myfi 'r AR-
GLWYDD a'u creais.
9 Gwae a ymrysono â'i luniwr. *Ymrysoned*
priddell â phriddellau 'r ddaear. [f] A ddy-
wed y clai wrth ei luniwr, Beth a wnei?
neu, Y mae dy waith heb ddwylaw iddo?
10 Gwae a ddywedo wrth *ei* dad, Beth a
genhedli? neu wrth y wraig, Beth a esgor-
aist?
11 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
Sanct Israel, a'i luniwr, Gofynwch i mi 'r
pethau a ddaw am fy meibion, a gorchy-
mynwch fi am waith fy nwylaw.
12 Myfi a wneuthum y ddaear, ac a
greais ddyn arni: myfi, ïe fy nwylaw i a

Rhagf. 16. B.
Cylch 712.
† Neu, *y cryfheais i ddeheulaw.*
[a] Exod. 33. 12, 17.
[b] Deut. 4. 35, 39. a 32. 39. Pen. 44. 8.
[c] Adn. 14, 18, 21.
[d] Amos 3. 6.
[e] Psal. 85. 11.
[f] Pen. 29. 16. Jer. 18. 6. Rhuf. 9. 20.



estynasant y nefoedd, ac a orchymynais eu
holl luoedd.
13 Myfi a'i cyfodais ef mewn cyfiawnder,
a'i holl ffyrdd a ‡ gyfarwyddaf; efe [g] a
adeilada fy ninas, efe a ollwng fy ngharchar-
orion, [h] heb na gwerth na gobrwy, medd
ARGLWYDD y lluoedd.
14 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
Llafur yr Aipht, a marsiandïaeth Ethiopia,
a'r Sabeaid hirion, a ddeuant attat ti, ac
eiddot ti fyddant; ar dy ol y deuant; [i] mewn
cadwyni y deuant trosodd: ac ymgrymmant
i ti: attat y gweddïant, [k] *gan ddywedyd*,
Yn ddïau ynot ti *y mae* DUW, [l] ac nid *oes*
arall, nac *oes* DUW.
15 Ti yn ddïau *wyt* DDUW [m] yn ym-
guddio, O DDUW Israel yr achubwr!
16 Cywilyddir a gwaradwyddir hwynt
oll; [n] seiri delwau a ant ynghŷd i warad-
wydd.
17 Israel a achubir yn yr ARGLWYDD
â iachawdwriaeth dragywyddol: ni'ch cy-
wilyddir ac ni'ch gwaradwyddir byth byth-
oedd.
18 Canys fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD, [o] creawdydd y nefoedd, y DUW
ei hun a luniodd y ddaear, ac a'i gwnaeth;
efe a'i sicrhaodd hi, ni chreodd hi yn ofer,
i'w phreswylio y lluniodd hi: [p] Myfi *yw* 'r
ARGLWYDD, ac nid neb amgen.
19 [q] Ni leferais mewn dirgelwch, mewn
man tywyll o'r ddaear; ni ddywedais wrth
had Jacob, Ceisiwch fi yn ofer. Myfi 'r
ARGLWYDD wyf yn llefaru cyfiawnder, *ac*
yn mynegi pethau union.
20 ¶ Ymgesglwch, a deuwch; cyd-
nesêwch, rai dïangol y cenhedloedd; [r] nid
oes gwybodaeth gan y rhai a ddyrchafant
goed eu cerf-ddelw, ac a weddïant dduw
nid all achub.
21 Mynegwch, a nesêwch *hwynt*; cyd-
ymgynghorant hefyd; [s] pwy a draethodd
hyn er cynt? *pwy* a'i mynegodd er y pryd
hynny? onid myfi 'r ARGLWYDD? ac [t] nid
*oes* DUW arall ond myfi; yn DDUW cyfiawn,
ac yn achubydd; nid *oes* ond myfi.
22 Trowch eich wynebau attaf fi, holl
gyrrau 'r ddaear, fel y'ch achuber: canys
myfi *wyf* DDUW, ac nid neb arall.
23 Im' fy hun y tyngais, aeth y gair o'm
genau *mewn* cyfiawnder, ac ni ddychwel,
Mai [u] i mi y plyga pob glin, [x] y twng pob
tafod.
24 Yn ddïau § yn yr ARGLWYDD (medd
*un*) *y mae* i mi gyfiawnder a nerth; atto ef
y deuir; [y] a chywilyddir pawb a ddigiant
wrtho.
25 Yn yr ARGLWYDD y cyfiawnhëir, ac
yr ymogonedda holl had Israel.

‡ Neu, *uniawnaf.*
[g] 2 Chron. 36. 22, 23. Ezra 1. 1, &c. Pen. 44. 28.
[h] Pen. 52. 3.
[i] Psal. 149. 8.
[k] 1 Cor. 14. 15.
[l] Adn. 5.
[m] Pen. 57. 17.
[n] Pen. 44. 11.
[o] Pen. 42. 5.
[p] Adn. 5.
[q] Deut. 30. 11. Pen. 48. 16.
[r] Pen. 44. 17, 18, 19.
[s] Pen. 41. 22. a 43. 9. a 44. 7. a 46. 10. a 48. 14.
[t] Adn. 5, 14, 18.
[u] Rhuf. 14. 11. Phil. 2. 10.
[x] Gen. 31. 53. Deut. 6. 13. Pen. 55. 16.
§ Neu, *efe a ddywed am danat, Yn yr Arglwydd y mae pob cyfiawnder.* Heb. *cyfiawnderau.*
[y] Pen. 41. 11.

## PEN. XLVI.

1 *Na allai eilunod Babilon eu hachub eu hunain. 3 Bod Duw yn achub ei bobl hyd y diwedd. 5 Nad yw eilunod gyffelyb i Dduw mewn gallu, 12 nac mewn ymwared presennol.*

CRYMMODD [a] Bèl, plygodd Nebo: eu
delwau oedd ar fwystfilod, ac ar anifeil-
iaid: eich clud a lwythwyd yn drwm;
llwyth *ydynt* i'r diffygiol.
2 Gostyngant, cyd-grymmant: ni allent
achub y llwyth, † ond aethant mewn caeth-
iwed eu hunain.
3 ¶ Tŷ Jacob, gwrandêwch arnaf fi, a
holl weddill tŷ Israel, *y rhai* a ddygpwyd
*gennyf* o'r groth, *ac* a arweddwyd o'r bru:

Rhagf. 16. P. Sul 1 ar ol yr Ystwyll, P. presennol.
Cylch 712.
[a] Pen. 21. 9. Jer. 50. 2. a 51. 44.
† Heb. *a'i henaid aeth mewn, &c.*

[b] Exod. 19. 4. 4 Hyd henaint hefyd myfi *yw*; ïe [b] myfi
Deut. 1. 31. a'ch dygaf hyd oni ben-wynnoch: gwneu-
a 32. 11. thum, arweddaf hefyd; ïe dygaf, a gwa-
Psal. 71. 6, 18. redaf *chwi*.
Pen. 63. 9. 5 ¶ [c] I bwy y'm gwnewch yn debyg, ac
[c] Pen. 40. 18, 25. y'm cystedlwch, ac y'm cyffelybwch, fel y
byddom debyg?
[d] Pen. 10. 6 [d] Hwy a wastraffant aur o'r pwrs, ac a
10. a 41. 6. bwysant arian mewn clorian, a gyflogant
a 44. 12, 19. eurych, ac efe a'i gweithia yn dduw: gostyn-
Jer. 10. 3. gant, ac ymgrymmant.
[e] Jer. 10. 5. 7 [e] Dygant ef ar ysgwyddau, dygant ef,
ac a'i gosodant yn ei le, ac efe a saif; ni
[f] Pen. 45. 20. syfl o'i le: [f] os llefa *un* arno, nid etteb, ac
ni's gwared ef o'i gystudd.
[g] Pen. 44. 19. 8 Cofiwch hyn, a byddwch wŷr: [g] ad-
gofiwch, droseddwŷr.
9 Cofiwch y pethau gynt erioed; canys
[h] Pen. 45. 5. a 48. 12. myfi *ydwyf* Duw, ac [h] nid neb arall;
Duw *ydwyf*, ac heb fy math;
[i] Pen. 45. 21. 10 [i] Yn mynegi'r diwedd o'r dechreuad,
ac er cynt yr hyn ni wnaed *etto*, yn dywed-
[k] Psal. 33. 11. yd, [k] Fy nghyngor a saif, a'm holl ewyllys
Diar. 19. 21. a 21. 30. a wnaf:
Heb. 6. 17. 11 Yn galw aderyn o'r dwyrain, † y gwr
† Heb. *fy nghyngoriwr.* a wna fy nghyngor o wlad bell: dywedais,
a mi a'i dygaf i ben; mi a'i lluniais, a mi
a'i gwnaf.
12 ¶ Gwrandêwch arnaf fi, y rhai cedyrn
galon, y rhai pell oddi wrth gyfiawnder.
13 Neseais fy nghyfiawnder; ni bydd bell,
a'm hiachawdwriaeth nid erys: rhoddaf
hefyd iachawdwriaeth yn Sion i'm gogo-
niant Israel.

## PEN. XLVII.

Rhagf. 17. 1 *Barnedigaethau Duw ar Babilon a Chaldea,*
B. *6 am eu hannhrugarowgrwydd, 7 a'u balch-*
*der, 10 a'u rhyfyg: 11 ac na's gellir eu*
*gwrthwynebu.*

Cylch 712. [a] DISGYN ac eistedd yn y llwch, *ti* for-
wyn ferch Babilon, eistedd ar lawr:
[a] Jer. 48. 18. nid *oes* orseddfaingc, *ti* ferch y Caldeaid;
canys ni'th alwant mwy yn dyner ac yn
foethus.
[b] Exod. 11. 5. 2 Cymmer y meini melin, a [b] mala flawd;
Barn. 16. 21. datguddia dy lowethau, noetha dy sodlau,
dinoetha dy forddwydydd, dos trwy'r
Mat. 24. 41. afonydd.
[c] Pen. 20. 4. 3 [c] Dy noethni a ddatguddir, dy warth
Jer. 13. 22, 26. hefyd a welir: dïalaf, ac nid *fel* dyn *y'th*
gyfarfyddaf.
Nah. 3. 5. 4 Ein gwaredydd ni, ei enw *yw* ARGLWYDD y lluoedd, Sanct Israel.
5 Eistedd yn ddistaw, a dos i dywyllwch,
*ti* ferch y Caldeaid: canys ni'th alwant mwy
yn Arglwyddes y teyrnasoedd.
[d] 2 Chron. 28. 9. 6 ¶ [d] Digiais wrth fy mhobl, [e] halogais
Zech. 1. 15. fy etifeddiaeth, a rhoddais hwynt yn dy
Edrych law di: ni chymmeraist drugaredd arnynt;
2 Sam. 24. 1. [f] rhoddaist dy iau yn drom iawn ar yr hen-
uriaid.
[e] Pen. 43. 28. 7 ¶ A dywedaist, Byth y byddaf [g] ar-
[f] Deut. 28. 50. glwyddes: felly nid ystyriaist hyn, ac ni
chofiaist ei diwedd hi.
[g] Dat. 18. 7. 8 Am hynny yn awr gwrando hyn, y
foethus, [h] yr hon a drigi yn ddïofal, [i] yr
[h] Seph. 2. 15. hon a ddywedi yn dy galon, Myfi *sydd*, ac
nid neb ond myfi: nid eisteddaf yn weddw,
[i] Adn. 10. ac ni chaf wybod beth yw dïeppiledd.
[k] Pen. 51. 19. 9 Ond y ddau [k] *beth* hyn a ddaw it' yn
ddisymmwth yr un dydd, dïeppiledd a
[l] Nah. 3. 4. gweddwdod: yn gwbl y deuant arnat, [l] am
amlder dy hudoliaethau, *a* mawr nerth dy
swynion.
[m] Adn. 8. 10 ¶ Canys [m] ymddiriedaist yn dy ddryg-
ioni: dywedaist, Ni'm gwel *neb*. Dy ddoeth-
ineb a'th wybodaeth a'th † hurtiant; a dy- † Neu, *droant ymaith.*
wedaist yn dy galon, Myfi *sydd*, ac nid neb
arall ond myfi.
11 Am hynny y daw arnat ddrygfyd, yr hwn
ni chei wybod ei ‡ gyfodiad; a syrth arnat ‡ Heb. *wawr.*
ddinystr ni's gelli ei ochelyd: ie, daw arnat
ddistryw yn ddisymmwth, heb wybod it'.
12 Saf yn awr gyd â'th swynion, a chyd
ag amlder dy hudoliaethau, yn y rhai'r
ymflinaist o'th ieuengctid; i *edrych* a elli
wneuthur lles, i *edrych* a fyddi grymmus.
13 Ymflinaist yn amlder dy gynghorion
dy hun. Safed yn awr [n] astronomyddion y [n] Pen. 44. 25.
nefoedd, y rhai a dremiant ar y ser, y rhai
a hyspysant am y misoedd, ac achubant di
oddi wrth *y pethau* a ddeuant arnat.
14 Wele, hwy a fyddant fel sofl; y tân
a'u llysg hwynt; ni waredant eu § heinioes § Heb. *heneidiau.*
o feddiant y fflam: ni *bydd* marworyn i
ymdwymmo, *na* thân i eistedd ar ei gyfer.
15 Felly y byddant hwy it' gyd â'r rhai
yr ymflinaist, *sef* [o] dy farsiandwŷr o'th [o] Dat. 18. 11.
ieuengctid; crwydrasant bob un ar ei duedd;
nid oes *un* yn dy achub di.

## PEN. XLVIII.

1 *Duw, i argyoeddi'r bobl o'u hynod gyndyn-* Rhagf. 17. P.
*rwydd, yn datguddio ei brophwydoliaethau.*
*9 Er ei fwyn ei hun y mae efe yn eu gwa-*
*red hwy. 12 Y mae yn eu hannog hwy i*
*fod yn ufudd, o herwydd ei allu a'i reglun-*
*iaeth ef: 16 yn cwyno eu cildynrwydd hwy.*
*20 O'i fawr allu y mae yn gwared ei bobl*
*o Babilon.*

GWRANDÊWCH hyn, tŷ Jacob, y rhai a Cylch
elwir ar enw Israel, ac [a] a ddaethant 712.
allan o ddyfroedd Judah; [b] y rhai a dyngant [a] Psal. 68. 26.
i enw'r ARGLWYDD, ac a goffânt am DDUW
Israel, [c] nid mewn gwirionedd, nac mewn [b] Pen. 65. 16.
cyfiawnder. Seph. 1. 5.
2 Canys hwy a'u galwant eu hunain o'r [c] Jer. 4. 2.
ddinas sanctaidd, ac [d] a bwysant ar DDUW a 5. 2.
Israel; enw yr hwn *yw* ARGLWYDD y llu- [d] Mich. 3. 11.
oedd. Rhuf. 2. 17.
3 [e] Y pethau gynt a fynegais er y pryd [e] Pen. 42.
hynny, a daethant o'm genau, a mi a'u 9. a 43. 9.
tracthais; mi a'*u* gwnaethum yn ddisym- a 44. 7, 8.
mwth. daethant i ben. a 45. 21. a 46. 9, 10.
4 O herwydd im' wybod dy *fod* di yn
galed, a'th warr *fel* gïeuyn haiarn, a'th
dalcen yn bres;
5 Mi a'i mynegais i ti er y pryd hynny;
adroddais it' cyn *ei* ddyfod; rhag dywedyd
o honot, Fy nelw a'u gwnaeth, fy ngherf-
ddelw a'm tawdd-ddelw a'u gorchymynodd.
6 Ti a glywaist, gwel hyn oll; ac oni fy-
negwch chwithau *ef*? adroddais it' bethau
newyddion o'r pryd hyn, a phethau cudd-
iedig, y rhai ni wyddit oddi wrthynt.
7 Yn awr y crewyd hwynt, ac nid er y
dechreuad, cyn y dydd ni chlywaist son
am danynt: rhag dywedyd o honot, Wele,
gwyddwn hwynt.
8 Ië, ni's clywsit, ac ni's gwyddit chwaith,
nid agorasid dy glust y pryd hynny: canys [f] Psal. 58. 3.
gwyddwn y byddit lwyr-anffyddlon, a'th
alw o'r groth [f] yn Droseddwr. [g] Pen. 43. 2.
9 ¶ [g] Er mwyn fy enw'r [h] oedaf fy llid,
ac er fy mawl yr ymattaliaf oddi wrthyt, [h] Psal. 78. 38.
rhag dy ddifetha.
10 Wele, myfi a'th burais, ond nid † fel † Neu, *i arian.*
arian. dewisais di mewn pair cystudd.
11 Er fy mwyn fy hun, er fy mwyn fy [i] Edrych Deut. 32. 26, 27.
hun, y gwnaf *hyn*; canys [i] pa fodd yr ha-
logid *fy enw*? ac [k] ni roddaf fy ngogoniant [k] Pen. 42. 8.
i arall.

12 ¶ Gwrando arnaf fi, Jacob, ac Israel,
yr hwn a elwais: [l] myfi *yw*; myfi *yw* [m] y
cyntaf, a mi *yw* y diwaethaf.
13 Fy llaw i hefyd a seiliodd y ddaear,
a'm deheulaw i a † rychwantodd y nef-
oedd: *pan* [n] alwyf fi arnynt, hwy a gyd-
safant.
14 [o] Ymgesglwch oll, a gwrandêwch;
pwy o honynt hwy a fynegodd hyn? [p] Yr
ARGLWYDD a'i hoffodd: efe a wna ei
ewyllys ar Babilon, a'i fraich *a fydd ar* y
Caldeaid.
15 Myfi, myfi a leferais, ac a'i gelwais ef:
dygais ef, ac efe a lwydda ei ffordd ef.
16 ¶ Nesêwch attaf, gwrandêwch hyn;
[q] ni leferais o'r cyntaf yn ddirgel; er y pryd
y mae hynny '*r ydwyf* finnau yno: ac yn
awr [r] yr Arglwydd DDUW a'i Yspryd a'm
hanfonodd.
17 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD dy
Waredydd, Sanct Israel; Myfi *yw* 'r AR-
GLWYDD dy DDUW, yr hwn wyf yn dy
ddysgu di i wellhâu, gan dy arwain yn y
ffordd y dylit rodio.
18 [s] O na wrandawsit ar fy ngorchymy-
nion! yna y buasai dy heddwch fel afon,
a'th gyfiawnder fel tonnau 'r môr:
19 A buasai dy had fel y tywod, ac
eppil dy gorph fel ei raian ef: ni thorrasid,
ac ni ddinystriasid ei enw oddi ger fy
mron.
20 ¶ [t] Ewch allan o Babilon, ffowch
oddi wrth y Caldeaid, â llef gorfoledd
mynegwch *ac* adroddwch hyn, traethwch
ef hyd eithafoedd y ddaear; dywedwch,
[u] Gwaredodd yr ARGLWYDD ei was
Jacob.
21 Ac [x] ni sychedasant *pan* arweiniodd
hwynt yn yr anialwch: [y] gwnaeth i ddwfr
bistyllio iddynt o'r graig: holltodd y graig
hefyd, a'r dwfr a ddylifodd.
22 [z] Nid *oes* heddwch, medd yr AR-
GLWYDD, i'r rhai annuwiol.

[l] Deut. 32. 39. [m] Pen. 41. 4. a 44. 6. Dat. 1. 17. a 22. 13. † Neu, *ddyrnfeddodd.* [n] Pen. 40. 26. [o] Pen. 41. 22. a 43. 9. a 44. 7. a 45. 21. [p] Pen. 45. 1. [q] Pen. 45. 19. [r] Zech. 2. 9, 11. [s] Deut. 32. 29. Psal. 81. 13. [t] Pen. 52. 11. Jer. 50. 8. a 51. 6, 45. Zech. 2. 6. Dat. 18. 4. [u] Exod. 19. 4, 5, 6. [x] Edrych Pen. 41. 17, 18. [y] Exod. 17. 6. Num. 20. 11. [z] Pen. 57. 21.

## PEN. XLIX.

Rhagf. 18. 15. Ystwyll, P.

1 *Crist wedi ei anfon at yr Iuddewon, yn achwyn rhagddynt.* 5 *Ei anfon ef at y Cenhedloedd ag addewidion grasusol.* 13 *Bod cariad Duw tu ag at ei eglwys yn dragywyddol.* 18 *Helaeth adferu 'r eglwys.* 24 *Y galluog ymwared allan o'r caethiwed.*

Cylch 712.

GWRANDÊWCH arnaf, ynysoedd; ac
ystyriwch, bobl o bell; [a] Yr AR-
GLWYDD a'm galwodd o'r groth; o ym-
ysgaroedd fy mam y gwnaeth goffa am fy
enw.
2 Gosododd hefyd [b] fy ngenau fel cleddyf
llym, ynghysgod ei law y'm cuddiodd; a
gwnaeth fi [c] yn saeth loyw, cuddiodd fi yn
ei gawell saethau;
3 Ac a ddywedodd wrthyf, [d] Fy ngwas i
*ydwyt* ti, Israel, yr hwn yr ymogoneddaf
ynot.
4 Minnau a ddywedais, Yn ofer y llafur-
iais, yn ofer ac am ddim y treuliais fy
nerth; er hynny *y mae* fy marn gyd â'r
ARGLWYDD, a'm † gwaith gyd â'm
DUW.
5 ¶ Ac yn awr, medd yr ARGLWYDD,
yr hwn a'm lluniodd o'r groth yn was
iddo, i ddychwelyd Jacob atto ef, ‡ Er
nad ymgasglodd Israel, etto gogoneddus
fyddaf fi yngolwg yr ARGLWYDD, a'm DUW
fydd fy nerth.

[a] Mat. 1. 20, 21. Luc 1. 31. [b] Pen. 11. 4. a 51. 16. Heb. 4. 12. Dat. 1. 16. [c] Psal. 45. 5. [d] Pen. 42. 1. Zech. 3. 8. † Neu, *gwobr.* ‡ Neu, *Fel yr ymgasglo Israel atto, ac y byddwyf yn ogoneddus yngolwg,* &c.

6 Ac efe a ddywedodd, § Gwael yw dy
fod yn was i mi, i gyfodi llwythau Jacob,
ac i adferu ‖ rhai cadwedig Israel: [e] mi
a'th roddaf hefyd yn oleuni i'r Cenhedloedd,
fel y byddych yn iachawdwriaeth i mi hyd
eithaf y ddaear.
7 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
Gwaredydd Israel, *a'i* Sanct, wrth [f] y dir-
mygedig † o enaid, wrth yr hwn sydd
ffiaidd gan y genedl, wrth was llywodraeth-
wŷr; [g] Brenhinoedd a welant, ac a gyfo-
dant; tywysogion hefyd a ymgrymmant, er
mwyn yr ARGLWYDD, yr hwn sydd ffy-
ddlon, Sanct Israel, ac efe a'th ddewisodd di.
8 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
[h] Mewn amser boddlon-gar y'th wrandew-
ais, ac yn nydd iachawdwriaeth y'th gyn-
northwyais; [i] a mi a'th gadwaf, ac a'th rod-
daf yn gyfammod y bobl, ‡ i sicrhâu 'r dda-
ear, i beri etifeddu yr etifeddiaethau anghy-
fanneddol;
9 Fel y dywedych [k] wrth y carcharorion,
Ewch allan; wrth y rhai *sydd* mewn tywy-
llwch, Ymddangoswch. Ar y ffyrdd y po-
rant, ac yn yr holl uchel-fannau *y bydd* eu
porfa hwynt.
10 [l] Ni newynant, ac ni sychedant; ac
[m] ni's tery gwres na haul hwynt: o herwydd
yr hwn a dosturia wrthynt a'u tywys, ac
a'u harwain wrth y ffynhonnau dyfroedd.
11 A mi a wnaf fy holl fynydd yn ffordd,
a'm prif-ffyrdd a gyfodir.
12 Wele, y rhai hyn a ddeuant o bell: ac
wele, y rhai accw o'r gogledd, ac o'r gor-
llewin; a'r rhai yma o dir Sinim.
13 ¶ [n] Cenwch, nefoedd; a gorfoledda,
ddaear; bloeddiwch ganu, y mynyddoedd:
canys yr ARGLWYDD a gysurodd ei bobl, ac
a drugarhâ wrth ei drueiniaid.
14 Etto dywedodd Sïon, Yr ARGLWYDD
a'm gwrthododd, a'm Harglwydd a'm han-
ghofiodd.
15 A anghofia gwraig ei phlentyn sugno,
§ fel na thosturio wrth fab ei chroth? ïe,
hwy a allant anghofio, etto myfi nid angho-
fiaf di.
16 Wele, [o] ar gledr *fy* nwylaw y'th ar-
graphais; dy furiau *sydd* ger fy mron bob
amser.
17 Dy ‖ blant a frysiant; y rhai a'th
ddinystriant, ac a'th ddistrywiant, a ânt al-
lan o honot.
18 ¶ [p] Dyrcha dy lygaid oddi amgylch,
ac edrych: y rhai hyn oll a ymgasglant, *ac*
a ddeuant attat. *Fel mai* byw fi, medd yr
ARGLWYDD, diau y gwisgi hwynt oll fel
hardd-wisg, ac y rhwymi hwynt *am danat*
fel prïod-ferch.
19 Canys dy ddiffaethwch a'th anialwch,
a'th dir dinystriol, yn ddiau [q] fydd yn awr
yn rhŷ gyfyng gan breswylwŷr; a'r rhai
a'th lyngcant a ymbellhânt.
20 Plant dy ddïeppiledd a ddywedant etto
lle y clywech, Cyfyng yw y lle hwn i mi;
dod le i mi, fel y preswyliwyf.
21 Yna y dywedi yn dy galon, Pwy a
genhedlodd y rhai hyn i mi, a mi'n ddï-
eppil, ac yn unig, yn gaeth, ac ar grwydr?
a phwy a fagodd y rhai hyn? Wele, myfi
a adawyd fy hunan; † o ba le *y daeth* y rhai
hyn?
22 [r] Fel hyn y dywed yr Arglwydd
DDUW, Wele, cyfodaf fy llaw at y Cen-
hedloedd, a dyrchafaf fy maner at y bobl-
oedd; a dygant dy feibion ‡ yn *eu* mynwes,
a dygir dy ferched ar ysgwyddau.

§ Heb. *Ai gwaelach wyt nag y byddit yn was,* &c. ‖ Neu, *diffaethfaoedd.* [e] Pen. 42. 6. Luc 2. 32. Act. 13. 47. a 26. 18. [f] Pen. 53. 3. † Neu, *gan ddyn.* [g] Psal. 72. 10, 11. [h] 2 Cor. 6. 2. Edrych Psal. 69. 13. [i] Pen. 42. 6. ‡ Neu, *i gyfodi.* [k] Pen. 42. 7. [l] Dat. 7. 16. [m] Psal. 121. 6. [n] Pen. 44. 23. § Heb. *rhag tosturio.* [o] Edrych Exod. 13. 9. Can. 8. 6. ‖ Neu, *adeiladwŷr.* [p] Pen. 60. 4. [q] Edrych Pen. 54. 1, 2. Zech. 2. 4. a 10. 10. † Neu, *pa le 'r oedd.* [r] Pen. 60. 4. a 66. 20. ‡ Neu, *ar eu breichiau.*

23 Brenhinoedd hefyd fydd dy dadmaeth-
od, a'u † brenhinesau dy fammaethod;
crymmant it' â'u hwynebau tu a'r llawr,
a s llyfant lwch dy draed; a chei wybod
mai myfi *yw*'r ARGLWYDD: canys t ni
chywilyddir y rhai a ddisgwyliant wrthyf
fi.
24 ¶ u A ddygir y caffaeliad oddi ar y
cadarn? neu a waredir ‡ y rhai a garcherir
yn gyfiawn?
25 Ond fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
Ie, § carcharorion y cadarn a ddygir, ac
anrhaith y creulon a ddiange: canys myfi
a ymrysonaf â'th ymrysonydd, a myfi a
achubaf dy feibion.
26 x Gwnaf hefyd i'th orthrymmwyr
fwytta eu cig eu hunain, ac â'u y gwaed
eu hun y meddwant fel ar win ‖ melus;
a gwybydd pob cnawd mai myfi'r AR-
GLWYDD *yw* dy achubydd, a'th gadarn
waredydd di, Jacob.

† Heb. *fy-ge-og wraig.* s Psal. 72. 9. Mich. 7. 17. t Psal. 34. 22. Rhuf. 5. 5. a 9. 33. a 10. 11. u Mat. 12. 29. ‡ Heb. *caethiwed y cyfiawn.* § Heb. *caethglud.* x Pen. 9. 20. y Dat. 14. 20. a 16. 6. ‖ Neu, *newydd.*

## PEN. L.

1 *Crist yn dangos nad efe yw'r achos y gwrthodiwyd yr Iuddewon, am ei fod yn abl i'w hachub hwy,* 5 *am ei fod yn ufudd i wneuthur hynny,* 7 *ac am ei fod yn ymddiried ynghymmorth Duw.* 10 *Annog i hyderu ar Dduw, ac nid arnom ein hunain.*

Rhagf. 18. P.

FEL hyn y dywed yr ARGLWYDD, Pa
le *y mae* a llythyr ysgar eich mam,
† *trwy*'r hwn y gollyngais hi ymaith? neu
pwy o'm b dyledwyr y gwerthais chwi iddo?
Wele, am eich anwireddau yr ymwerthasoch,
ac am eich camweddau y gollyngwyd ymaith
eich mam.
2 Pa ham, pan ddeuthum, nad *oedd* neb
*i'm derbyn*? pan elwais, nad attebodd *neb*?
c Gan gwttogi a gwttogodd fy llaw, fel na
allai ymwared? neu onid *oes* ynof nerth i
achub? wele, d â'm cerydd e y sychaf y
môr, gwneuthum f yr afonydd yn ddiffaeth-
wch: g eu pysgod a ddrewant o eisiau dwfr,
ac a fyddant feirw o syched.
3 h Gwisgaf y nefoedd â thywyllwch, a
gosodaf sachliain yn do iddynt.
4 Yr Arglwydd DDUW a roddes im' dafod
y dysgedig, i fedru mewn pryd lefaru gair
wrth i y diffygiol: deffry fi bob bore, deffry
im' glust i glywed fel y dysgedig.
5 ¶ Yr Arglwydd DDUW a agorodd fy
nghlust, a minnau ni k wrthwynebais, *ac* ni
chiliais yn *fy* ol.
6 l Fy nghorph a roddais i'r curwyr,
m a'm cernau i'r rhai a dynnai'r blew: ni
chuddiais fy wyneb oddi wrth waradwydd a
phoeredd.
7 ¶ O herwydd yr Arglwydd DDUW
a'm cymmorth; am hynny ni'm cywilyddir:
am hynny n gosodais fy wyneb fel callestr, a
gwn na'm cywilyddir.
8 o Agos *yw*'r hwn a'm cyfiawnhâ; pwy
a ymryson â mi? safwn ynghyd: pwy *yw*
‡ fy ngwrthwynebwr? nesaed attaf.
9 Wele'r Arglwydd DDUW a'm cynnorth-
wya; pwy *yw*'r hwn a'm bwrw yn euog?
wele, hwynt oll a heneiddiant fel dilledyn;
p y gwyfyn a'u hysa hwynt.
10 ¶ Pwy yn eich mysg sydd yn ofni'r
ARGLWYDD, yn gwrandaw ar lais ei was ef
q yn rhodio *mewn* tywyllwch, ac heb le-
wyrch iddo? gobeithied yn enw'r AR-
GLWYDD, ac ymddirieded yn ei DDUW.
11 Wele, chwi oll y rhai ydych yn cyn-
neu tân, *ac* yn eich amgylchu eich hunain â
gwreichion; rhodiwch wrth lewyrch eich tân,
ac wrth y gwreichion a gynneuasoch. r O'm
llaw i y bydd hyn i chwi; mewn gofid y
gorweddwch.

Cylch 712. a Deut. 24. 1. Hos. 2. 2. † *yr hon a yrrais.* b Edrych 2 Bren. 4. 1. c Num. 11. 23. Pen. 59. 1. d Nah. 1. 4. e Exod. 14. 21. f Exod. 7. 18. g Jos. 3. 16. h Exod. 10. 21. i Mat. 11. 28. k Ioan 14. 13. Phil. 2. 8. Heb. 10. 5, &c. l Mat. 26. 67. a 27. 26. m Galar. 3. 30. n Ezec. 3. 8, 9. o Rhuf. 8. 33, 34. ‡ Heb. *meistr fy nadl.* p Pen. 51. 8. q Psal. 23. 4. r Ioan 9. 39.

## PEN. LI.

1 *Cyngor i hyderu ar Grist, yn ol esampl Abraham,* 3 *o herwydd ei addewidion cysurfawr,* 4 *a'i gyfiawn ymwared,* 7 *a marwolaeth dyn.* 9 *Bod Crist â'i sanctaidd fraich yn ymddiffyn yr eiddo rhag ofn dyn.* 17 *Y mae'n cwyno adfyd Jerusalem,* 21 *ac yn addaw ymwared.*

Rhagf. 19. B. Sul 2 ar ol yr Ystwyll, B.

GWRANDEWCH arnaf fi, a ddilynwyr
cyfiawnder, y rhai a geisiwch yr AR-
GLWYDD: edrychwch ar y graig y'ch
naddwyd, ac ar geudod y ffos y'ch cloddi-
wyd *o honynt.*
2 Edrychwch ar Abraham eich tad, ac
ar Sarah a'ch esgorodd: canys ei hunan y
gelwais ef, ac y bendithiais, ac yr amlheais
ef.
3 O herwydd yr ARGLWYDD a gysura
Sion: efe a gysura ei holl anghyfannedd-
leoedd hi; gwna hefyd ei hanialwch hi fel
Eden, a'i diffaethwch fel gardd yr AR-
GLWYDD: ceir ynddi lawenydd a hyfryd-
wch, diolch, a llais cân.
4 ¶ Gwrandewch arnaf, fy mhobl; clust-
ymwrandewch â mi, fy nghenedl: canys
cyfraith a â allan oddi wrthyf, a gosodaf fy
marn yn oleuni pobloedd.
5 Agos yw fy nghyfiawnder; fy iach-
awdwriaeth a aeth allan, fy mreichiau he-
fyd a farnant y bobloedd: yr ynysoedd a
ddisgwyliant wrthyf, ac a ymddiriedant *yn*
fy mraich.
6 Dyrchefwch eich llygaid tu a'r nefoedd,
ac edrychwch ar y ddaear isod: canys
b y nefoedd a ddarfyddant fel mŵg, a'r
ddaear a heneiddia fel dilledyn, a'i phre-
swylwyr yr un modd a fyddant meirw; ond
fy iachawdwriaeth i a fydd byth, a'm cyf-
iawnder ni ddeffydd.
7 ¶ Gwrandewch arnaf, y rhai a ad-
waenoch gyfiawnder, y bobl c sy â'm cyf-
raith yn eu calon: d nac ofnwch wara-
dwydd dynion, ac nac arswydwch rhag eu
difenwad.
8 Canys e y pryf a'u bwytty fel dilledyn,
a'r gwyfyn a'u hysa fel gwlan: eithr fy
nghyfiawnder a fydd yn dragywydd, a'm
hiachawdwriaeth o genhedlaeth i genhed-
laeth.
9 ¶ Deffro, deffro, gwisg nerth, O fraich
yr ARGLWYDD; deffro fel yn y dyddiau
gynt, yn yr oesoedd gynt. Onid ti *yw*'r
hwn a dorraist f Rahab, *ac* a archollaist g y
ddraig?
10 Onid ti *yw*'r hwn h a sychaist y môr,
dyfroedd y dyfnder mawr? yr hwn a wnae-
thost ddyfnderoedd y môr yn ffordd i'r
gwaredigion i fyned drwodd?
11 Am hynny i y dychwel gwaredigion yr
ARGLWYDD, a hwy a ddeuant i Sion â cha-
nu, ac â llawenydd tragywyddol ar eu pen-
nau: goddiweddant lawenydd a hyfrydwch;
gofid a griddfan a ffy ymaith.
12 Myfi, myfi, *yw* yr hwn a'ch diddana
chwi: pwy *wyt* ti, fel yr ofnit k ddyn *yr*
*hwn* fydd marw, a mab dyn *yr hwn* a wneir
l *fel* glaswelltyn?
13 Ac a anghofi yr ARGLWYDD dy
wneuthurwr, m yr hwn a estynodd y nef-
oedd, ac a seiliodd y ddaear? ac a ofnaist bob
dydd yn wastad rhag llid y gorthrymmydd,

Cylch 712. a Rhuf. 9. 30, 31, 32. b Psal. 102. 26. Mat. 24. 35. 2 Petr. 3. 10. c Psal. 37. 31. d Mat. 10. 28. e Pen. 50. 9. f Psal. 87. 4. g Psal. 74. 13, 14. Pen. 27. 1. Ezec. 29. 3. h Exod. 14. 21. Pen. 43. 16. i Pen. 35. 10. k Psal. 118. 6. l Pen. 40. 6. 1 Petr 1. 24. m Job 9. 8. Psal. 104. 2. Pen. 40. 22. a 42. 5. a 44. 24.

fel pe darparai i ddinystrio? a pha le *y mae* llid y gorthrymmydd?

14 Y carcharor sydd yn brysio i gael ei ollwng yn rhydd, fel na byddo farw yn y pwll, ac na phallo ei fara ef.

15 Eithr myfi *yw* yr ARGLWYDD dy DDUW, yr hwn [n] a barthodd y môr, pan ruodd ei donnau: ei enw *yw* ARGLWYDD y lluoedd.

16 [o] Gosodais hefyd fy ngeiriau yn dy enau, ac ynghysgod fy llaw y'th doais, fel y plannwn y nefoedd, ac y seiliwn y ddaear, ac y dywedwn wrth Sïon, Fy mhobl *ydwyt*.

17 ¶ [p] Deffro, deffro, cyfod, Jerusalem, yr hon [q] a yfaist o law 'r ARGLWYDD gwppan ei lidiowgrwydd ef; yfaist waddod [r] y cwppan erchyll, *ie* sugnaist *ef*.

18 Nid *oes* arweinydd iddi o'r holl feibion a esgorodd; ac nid *oes* a ymaflo yn ei llaw o'r holl feibion a fagodd.

19 [s] Y ddau *beth* hyn a ddigwyddasant it'; pwy a ofidia trosot? dinystr, a † distryw; a newyn, a chleddyf: *trwy* bwy y'th gysuraf?

20 [t] Dy feibion a lewygasant, gorweddant ym mhen pob heol fel tarw gwyllt *mewn* magl: llawn ydynt o lidiowgrwydd yr ARGLWYDD, *a* cherydd dy DDUW.

21 ¶ Am hynny gwrando fi yn awr, y druan, a'r feddw, [u] ac nid *trwy* win.

22 Fel hyn y dywed dy Arglwydd, yr ARGLWYDD, a'th DDUW di, *yr hwn* a ddadleu *dros* ei bobl, Wele, cymmerais o'th law y cwppan erchyll, *sef* gwaddod cwppan fy llidiowgrwydd: ni 'chwanegi ei yfed mwy.

23 Eithr [x] rhoddaf ef yn llaw dy gystuddwŷr; [y] y rhai a ddywedasant wrth dy enaid, Gostwng, fel yr elom drosot: a thi a osodaist dy gorph fel y llawr, ac fel heol i'r rhai a elent drosto.

[n] Job 26. 12. Jer. 31. 35.
[o] Deut. 18. 18. Pen. 49. 2.
[p] Pen. 52. 1.
[q] Job 21. 20. Psal. 75. 8. Jer. 25. 15, 16.
[r] Zech. 12. 2.
[s] Edrych Deut. 28. 28, 34. Psal. 60. 3.
[t] Pen. 47. 9.
† Heb. *drylliad*.
[t] Galar. 2. 11, 12.
[u] Edrych adn. 17.
[x] Jer. 25. 26, 29. Zech. 12. 2.
[y] Psal. 66. 11, 12.

## PEN. LII.

1 *Crist yn perswadio ei eglwys i gredu ei rad brynedigaeth ef,* 7 *i dderbyn gweinidogion yr adbrynedigaeth,* 9 *i lawenychu yn ei gallu hi,* 11 *ac i'w rhyddhâu eu hunain oddi wrth gaethiwed.* 13 *Y dyrchefir teyrnas Crist.*

Rhagf. 19. P.

Cylch 712.

[a] DEFFRO, deffro, gwisg dy nerth, Sïon; gwisg wisgoedd dy ogoniant, sanctaidd ddinas Jerusalem: canys [b] ni ddaw o'th fewn mwy ddïenwaededig nac aflan.

2 Ymysgwyd o'r llwch, cyfod, eistedd, Jerusalem: ymddattod oddi wrth rwymau dy wddf, *ti* gaethferch Sïon.

3 Canys fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD, [c] Yn rhad yr ymwerthasoch; ac nid ag arian y'ch gwaredir.

4 Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd DDUW, Fy mhobl a aeth i wared i'r [d] Aipht yn y dechreuad, i ymdaith yno; a'r Assyriaid a'u gorthrymmodd yn ddïachos.

5 Ac yn awr beth *sydd* yma i mi, medd yr ARGLWYDD, pan ddygid fy mhobl ymaith yn rhad? eu llywodraethwŷr a wna *iddynt* udo, medd yr ARGLWYDD; a phob dydd yn wastad [e] y ceblir fy enw.

6 Am hynny y caiff fy mhobl adnabod fy enw: am hynny *y cânt wybod* y dydd hwnnw, mai myfi *yw* yr hwn sy'n dywedyd: wele, myfi *ydyw*.

7 ¶ [f] Mor weddaidd ar y mynyddoedd *yw* traed yr hwn sydd yn efangylu, yn cyhoeddi heddwch; a'r hwn sydd yn mynegi daioni, yn cyhoeddi iachawdwriaeth; yn dywedyd wrth Sïon, [g] Dy DDUW di sydd yn teyrnasu!

8 Dy wylwŷr a ddyrchafant lef; gyd â'r llef y cyd-ganant: canys gwelant lygad yn llygad, pan ddychwelo'r ARGLWYDD Sïon.

9 ¶ Bloeddiwch, cyd-genwch, anialwch Jerusalem: canys yr ARGLWYDD a gysurodd ei bobl, *efe* a waredodd Jerusalem.

10 Dïosgodd yr ARGLWYDD fraich ei sancteiddrwydd yngolwg yr holl genhedloedd; a [h] holl gyrrau'r ddaear a welant iachawdwriaeth ein DUW ni.

11 ¶ [i] Ciliwch, ciliwch, ewch allan oddi yno, na chyffyrddwch â dim halogedig; ewch allan o'i chanol; ymlanhêwch, y rhai a ddygwch lestri'r ARGLWYDD.

12 Canys [k] nid ar frys yr ewch allan, ac nid ar ffo y cerddwch: canys yr ARGLWYDD a â o'ch blaen chwi, a DUW Israel a'ch casgl chwi.

13 ¶ Wele, fy ngwas a † lwydda; efe a godir, a ddyrchefir, ac a fydd uchel iawn.

14 Megis y rhyfeddodd llawer wrthyt (mor llygredig *oedd* ei [l] wedd yn anad neb, a'i bryd yn anad meibion dynion!)

15 Felly [m] y taenella efe genhedloedd lawer; brenhinoedd a gauant eu genau wrtho ef: canys gwelant yr hyn [n] ni fynegasid iddynt, a deallant yr hyn ni chlywsent.

[a] Pen. 51. 17.
[b] Pen. 35. 8. a 60. 21. Dat. 21. 27.
[c] Psal. 44. 12. Pen. 45. 13. Jer. 15. 13.
[d] Gen. 46. 6.
[e] Ezec. 36. 20, 23. Rhuf. 2. 24.
[f] Nah. 1. 15. Rhuf. 10. 15.
[g] Psal. 93. 1. a 96. 10. a 97. 1.
[h] Psal. 98. 2, 3. Luc 3. 6.
[i] Pen. 48. 20. Jer. 50. 8. a 51. 6, 45. 2 Cor. 6. 17. Dat. 18. 4.
[k] Edrych Exod. 12. 33, 39.
† Neu, *wna'n gall*, Pen. 53. 10.
[l] Psal. 22. 6, 7. Pen. 53. 2, 3.
[m] Act. 2. 33.
[n] Rhuf. 15. 21.

## PEN. LIII.

1 *Y prophwyd yn cwyno rhag anghrediniaeth, ac yn esgusodi rhwystr y groes,* 4 *trwy ddangos y daioni a ddaw o ddioddefaint Crist,* 10 *a ffynniant y groes.*

Rhagf. 20. B. Sul 2 ar ol yr Ystwyll, P. Gwener y Croglith, P.

Cylch 712.

[a] PWY a gredodd i'n † hymadrodd? ac i bwy y datguddiwyd braich yr ARGLWYDD?

2 Canys [b] efe a dyf o'i flaen ef fel blaguryn, ac fel gwreiddyn o dir sych: [c] nid oes na phryd na thegwch iddo: pan edrychom arno, ni bydd pryd fel y dymunem ef.

3 [d] Dirmygedig yw, a dïystyraf o'r gwŷr; gwr gofidus, a chynnefin â dolur: ac ‡ *yr oeddym* megis yn cuddio *ein* hwynebau oddi wrtho: dirmygedig oedd, ac ni wnaethom gyfrif o hono.

4 ¶ Dïau [e] efe a gymmerth ein gwendid ni, ac a ddug ein doluriau: etto ni a'i cyfrifasom ef wedi ei faeddu, ei daro gan DDUW, a'i gystuddio.

5 Ond efe [f] a § archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni: cospedigaeth ein heddwch ni *oedd* arno ef: a [g] thrwy ei gleisiau ef y iachawyd ni.

6 Nyni oll a grwydrasom fel defaid; troisom bawb i'w ffordd ei hun: a'r ARGLWYDD a ‖ roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd.

7 Efe a orthrymmwyd, ac efe a gystuddiwyd, ac [h] nid agorai ei enau: [i] fel oen yr arweinid ef i'r lladdfa, ac fel y tau dafad o flaen y rhai a'i cneifiai, felly nid agorai yntau ei enau.

8 O † garchar ac o farn y cymmerwyd ef: a phwy a draetha ei oes ef? canys

[a] Ioan 12. 38. Rhuf. 10. 16.
† Neu, *haddysg?* Heb. *clywed?*
[b] Pen. 11. 1.
[c] Pen. 49. 7. a 52. 14. Marc 9. 12.
[d] Psal. 22. 6. Pen. 49. 7.
‡ Neu, yr oedd *megis yn cuddio* ei *wyneb oddi wrthym.* Heb. *megis cuddio wynebau oddi wrtho,* neu, *oddi wrthym.*
[e] Mat. 8. 17.
[f] Rhuf. 3. 15. 1 Cor. 15. 3.
§ Neu, *boenwyd.*
[g] 1 Petr 2. 24.

‖ Heb. *umaeth i'n hanwireddau ni i gyd gyfarfod arno ef.*
[h] Mat. 26. 63. a 27. 12, 14. Marc 14. 61. a 15. 5. [i] Act. 8. 32.
† Neu, *gyfyngder.*

[k] efe a dorrwyd o dir y rhai byw; *rhodd-
wyd* pla arno ef am gamwedd fy mhobl.
9 Ac efe a wnaeth ei fedd gyd â'r rhai
anwir, a [l] chyd â'r cyfoethog yn ei farwol-
aeth; [m] am na wnaethai gam, ac nad *oedd*
twyll yn ei enau.
10 ¶ Eithr yr ARGLWYDD a fynnai ei
ddryllio ef; efe a'i clwyfodd: pan † osodo
efe [n] ei enaid yn aberth dros bechod, efe a
wêl *ei* had, efe a estyn *ei* ddyddiau; ac
ewyllys yr ARGLWYDD a lwydda yn ei law
ef.
11 O lafur ei enaid y gwel, *ac* y diwellir:
[o] fy ngwas cyfiawn a gyfiawnhâ lawer [p] trwy
ei wybodaeth; canys efe a ddwg eu hanwi-
reddau hwynt.
12 Am hynny y rhannaf iddo *ran* gyd
â ‡ llawer, ac efe a rana'r yspail gyd
â'r cedyrn: am iddo dywallt ei enaid i
farwolaeth: ac [q] efe a gyfrifwyd gyd
â'r troseddwyr; ac efe a ddug bechodau
llaweroedd, ac [r] a eiriolodd dros y tro-
seddwyr.

k Dan. 9. 26. l Mat. 27. 57. m 1 Petr 2. 22. 1 Ioan 3. 5. † Neu, *pan osodo ei enaid ef aberth.* n 2 Cor. 5. 21. 1 Petr 2. 24. o Pen. 42. 1. a 49. 3. p Rhuf. 5. 18, 19. 1 Ioan 2. 1. ‡ *'r mawrion.* q Marc 15. 28. Luc 22. 37. r Luc 23. 34. Rhuf. 8. 34. Heb. 7. 25. a 9. 24. 1 Ioan 2. 1.

## PEN. LIV.

1 *Y prophwyd, er mwyn cysuro'r Cenhedloedd, yn prophwydo helaethrwydd yr eglwys:* 4 *eu diogelwch hwy,* 6 *a'u sicr ymwared allan o gystudd,* 11 *a'u hadeilad dig,* 15 *a'u diogel gadwedigaeth.*

Rhagf. 20. P.

Cylch 712.

[a] CÂN, di ammhlantadwy nid esgorodd;
bloeddia ganu, a gorfoledda, *yr hon*
nid esgorodd: o herwydd [b] amlach meib-
ion yr hon a adawyd, na'r hon y mae gŵr
iddi, medd yr ARGLWYDD.
2 [c] Helaetha le dy babell, ac estynnant
gortynnau dy breswylfeydd: nac attal, estyn
dy raffau, a sicrhâ dy hoelion.
3 Canys ti a dorri allan ar y llaw ddehau
ac ar y llaw aswy; a'th had a etifedda'r
Cenhedloedd, a dinasoedd anrheithiedig a
wnant yn gyfanneddol.
4 Nac ofna; canys ni'th gywilyddir: ac
na'th waradwydder, am na'th warthruddir;
canys ti a anghofi waradwydd dy ieuengc-
tid, a gwarthrudd dy weddwdod ni chofi
mwyach.
5 Canys dy brïod *yw*'r hwn a'th wnaeth,
([d] ARGLWYDD y lluoedd *yw* ei enw) dy
waredydd hefyd, Sanct Israel, DUW'r holl
ddaear y gelwir ef.
6 Canys [e] fel gwraig wrthodedig, a chy-
studdiedig o yspryd, y'th alwodd yr AR-
GLWYDD, a gwraig ieuengctid, pan oeddit
wrthodedig, medd dy DDUW.
7 [f] Dros ennyd fechan y'th adewais; ond
â mawr drugareddau y'th gasglaf.
8 Mewn ychydig soriant y cuddiais fy
wyneb oddi wrthyt ennyd *awr*; ond â thru-
garedd dragywyddol y trugarhaf wrthyt,
medd yr ARGLWYDD dy waredydd.
9 Canys [g] *fel* dyfroedd Noah *y mae*
hyn i mi: canys *megis* y tyngais nad elai
ddyfroedd Noah mwy dros y ddaear; felly
y tyngais na ddigiwn wrthyt, ac na'th gery-
ddwn.
10 Canys [h] y mynyddoedd a giliant, a'r
bryniau a symmudant: eithr fy nhrugaredd
ni chilia oddi wrthyt, a chyfammod fy hedd
ni syfl, medd yr ARGLWYDD sydd yn tru-
garhâu wrthyt.
11 ¶ Y druan, helbulus gan dymmestl,
y ddigysur, wele, [i] mi a osodaf dy ger-
rig di â charbuncl, ac a'th sylfaenaf â *meini*
saphir.
12 Gwnaf hefyd dy ffenestri o risial, a'th
byrth o feini disglair, a'th holl derfynau o
gerrig dymunol.
13 [k] Dy holl feibion hefyd *fyddant* wedi
eu dysgu gan yr ARGLWYDD; a mawr
*fydd* heddwch dy feibion.
14 Mewn cyfiawnder y'th sicrheir: bydd-
di bell oddi wrth orthrymder, canys nid
ofni; ac oddi wrth ddychryn, canys ni nesâ
attat.
15 Wele, gan ymgasglu hwy a ymgasgl-
ant, *ond* nid o honof fi: pwy bynnag o
honot ti a ymgasglo i'th erbyn, efe a syrth.
16 Wele, myfi a greais y gof, yr hwn a
chwyth y marwor yn tân, ac a ddefnyddia
arf i'w waith; myfi hefyd a greais y dinystr-
ydd i ddistrywio.
17 ¶ Ni lwydda un offeryn a lunier i'th
erbyn; a thi a wnei yn euog bob tafod a
gyfodo i'th erbyn mewn barn. Dyma eti-
feddiaeth gweision yr ARGLWYDD, a'u cy-
fiawnder hwy *sydd* oddi wrthyf fi, medd yr
ARGLWYDD.

a Seph. 3. 14. Gal. 4. 27. b 1 Sam. 2. 5. c Pen. 49. 19, 20. d Luc 1. 32. e Pen. 62. 4. f Psal. 30. 5. Pen. 26. 20. 2 Cor. 4. 17. g Gen. 8. 21. a 9. 11. Edrych Jer. 31. 35, 36. h Psal. 46. 2. Mat. 5. 18. i 1 Chron. 29. 2. Dat. 21. 18, &c. k Pen. 11. 9. Jer. 31. 34. Ioan 6. 45. 1 Cor. 2. 10. 1 Thess. 4. 9. 1 Ioan 2. 20.

## PEN. LV.

1 *Y prophwyd, trwy addewidion o Grist, yn galw pawb i gredu,* 6 *ac i edifarhâu.* 8 *Dedwydd lwyddiant y rhai a gredo.*

Rhagf. 22. B. Sul 3 ar ol yr Ystwyll, B.

Cylch 712.

OH [a] deuwch i'r dyfroedd, bob un y
mae syched arno, ie yr hwn nid *oes*
arian ganddo; [b] deuwch, prynwch, a bwyt-
têwch; ie deuwch, prynwch win a llaeth,
heb arian, ac heb werth.
2 Paham y † gweriwch arian am *yr hyn*
nid *ydyw* fara? a'ch llafur am *yr hyn* nid yw
yn digoni? gan wrando gwrandêwch arnaf
fi, a bwyttewch *yr hyn sy* dda; ac ymhy-
fryded eich enaid mewn brasder.
3 Gogwyddwch eich clust, a deuwch at-
taf: gwrandewch, a bydd byw eich enaid:
a mi a wnaf gyfammod tragywyddol â chwi,
*sef* [c] sicr drugareddau Dafydd.
4 Wele, rhoddais ef yn dyst i'r bobl, yn
flaenor ac yn athro i'r bobloedd.
5 Wele, [d] cenedl nid adweini a elwi, a
chenhedloedd ni'th adwaenai di a red attat,
er mwyn yr ARGLWYDD dy DDUW, ac o
herwydd Sanct Israel: canys efe a'th ogo-
neddodd.
6 ¶ [e] Ceisiwch yr ARGLWYDD, tra y
galler ei gael ef; gelwch arno, tra fyddo yn
agos.
7 Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r
gŵr ‡ anwir ei feddyliau; a dychweled at yr
ARGLWYDD, ac efe a gymmer drugaredd
arno; ac at ein DUW ni, o herwydd efe a
§ arbed yn helaeth.
8 ¶ Canys nid fy meddyliau i *yw* eich
meddyliau chwi, ac nid eich ffyrdd chwi *yw*
fy ffyrdd i, medd yr ARGLWYDD.
9 Canys *fel* y mae'r nefoedd yn uwch
nâ'r ddaear, felly uwch yw fy ffyrdd i
nâ'ch ffyrdd chwi, a'm meddyliau i nâ'ch
meddyliau chwi.
10 Canys [f] fel y disgyn y gwlaw a'r eira
o'r nefoedd, ac ni ddychwel yno, eithr
dyfrhâ'r ddaear, ac a wna iddi darddu a
thyfu, fel y rhoddo had i'r hauwr, a bara
i'r bwyttâwr:
11 Felly y bydd fy ngair, yr hwn a ddaw
o'm genau: ni ddychwel attaf yn wag; eithr
efe a wna yr hyn a ewyllysiwyf, ac a lwydda
*yn y peth* yr anfonais ef o'i blegid.
12 Canys mewn llawenydd yr ewch

a Ioan 4. 14. a 7. 37. Dat. 21. 6. a 22. 17. b Mat. 13. 44, 46. Dat. 3. 18. † Heb. *pwyswch.* c 2 Sam. 7. 8. Psal. 89. 28. Act. 13. 34. d Eph. 2. 11, 12. e Psal. 32. 6. Mat. 5. 25. Ioan 7. 34. a 8. 21. ‡ Heb. *anwiredd.* § Heb. *amlhâ uroedd.* f Deut. 32. 2.

allan, ac mewn hedd y'ch arweinir; [g] y
mynyddoedd a'r bryniau a floeddiant ganu
o'ch blaen, a [h] holl goed y maes a gurant
ddwylaw.
13 [i] Yn lle [k] drain y cyfyd ffynnidwŷdd,
yn lle mieri y cyfyd myrtwŷdd: a *hyn*
fydd i'r ARGLWYDD yn enw, ac yn arwydd
tragywyddol *yr hwn* ni thorrir ymaith.

## PEN. LVI.

1 *Y prophwyd yn annog i sancteiddrwydd;*
*3 ac yn addaw y bydd sancteiddiad yn gy-*
*ffredinol, heb dderbyn wyneb neb. 9 Y mae*
*efe yn rhoi anglod i'r gwylwŷr deillion.*

FEL hyn y dywed yr ARGLWYDD, Ce-
dwch farn, a gwnewch gyfiawnder;
[a] canys fy iachawdwriaeth *sydd* ar ddyfod,
a'm cyfiawnder ar ymddangos.
2 Gwyn ei fyd y dyn a wnelo hyn, a mab
y dyn a ymaflo ynddo; gan gadw'r Sab-
both heb ei halogi, a chadw ei law rhag
gwneuthur dim drwg.
3 ¶ Ac na lefared [b] y dïeithr-fab, yr hwn
a lynodd wrth yr ARGLWYDD, gan ddy-
wedyd, Yr ARGLWYDD gan ddidoli a'm
didolodd oddi wrth ei bobl; ac na ddywed-
ed y disbaddedig, Wele fi yn bren crin.
4 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
wrth y rhai disbaddedig, y rhai a gadwant fy
Sabbothau, ac a ddewisant yr hyn a ewylly-
siwyf, ac a ymaflant yn fy nghyfammod i;
5 Ië, rhoddaf iddynt yn fy nhŷ, ac o fewn
fy magwyrydd, le ac enw gwell nâ meibion
ac nâ merched: rhoddaf iddynt enw tra-
gywyddol, yr hwn ni thorrir ymaith.
6 A'r meibion dïeithr, y rhai a lynant wrth
yr ARGLWYDD, gan ei wasanaethu ef, a chan
garu enw'r ARGLWYDD, i fod yn weision
iddo ef, pob un a gadwo'r Sabboth heb ei
halogi, ac a ymaflo yn fy nghyfammod;
7 [c] Dygaf hwythau hefyd i fynydd fy
sancteiddrwydd, a llawenychaf hwynt yn
† nhŷ fy ngweddi: eu poeth-offrymmau
hefyd a'u hebyrth *fyddant* gymmeradwy ar
fy allor: canys [d] fy nhŷ i a elwir yn dŷ
gweddi i'r holl bobloedd.
8 Medd yr Arglwydd DDUW, yr hwn a
gasgl wasgaredigion Israel, [e] Etto mi a
gasglaf *eraill* atto ef, ‡ gyd â'r rhai sy wedi
eu casglu atto.
9 ¶ Pob bwystfil y maes, deuwch i ddifa,
*a* phob bwystfil yn y coed.
10 Deillion *yw* ei wyliedyddion: ni wydd-
ant hwy oll *ddim*, cŵn mudion *ydynt* hwy
oll, heb fedru cyfarth; § yn cysgu, yn
gorwedd, *ac* yn caru hepian.
11 Ië, cŵn gwangcus *ydynt*, [f] ni chydna-
byddant â'u digon, a bugeiliaid *ydynt* ni
fedrant ddeall; wynebant oll at eu ffordd
eu hun, pob un at ei elw ei hun ‖ o'i gwrr.
12 Deuwch, *meddant*, cyrchaf win, ac ym-
lanwn o ddïod gref; a [g] bydd y foru megis
heddyw, *a* mwy o lawer iawn.

## PEN. LVII.

1 *Bendigedig farwolaeth y cyfiawn. 3 Duw*
*yn argyoeddi'r Iuddewon, am eu puttein-*
*iaidd ddelw-addoliaeth; 13 yn rhoi addew-*
*idion efengylaidd i'r edifeiriol.*

[a] DARFU am y cyfiawn, ac ni esyd neb
at ei galon; a'r gwŷr † trugarog a gym-
merir ymaith, [b] heb neb yn deall mai ‡ o
flaen drygfyd y cymmerir y cyfiawn ymaith.
2 *Efe* a â § i dangnefedd, hwy a orphwys-
ant yn eu ‖ 'stafelloedd, *sef pob un* a rodia
† *yn* ei uniondeb.
3 ¶ Nesêwch yma, meibion yr hudoles,
had y godinebus, a'r buttain.
4 Yn erbyn pwy 'r ymddigrifwch? yn
erbyn pwy y lledwch safn, *ac* yr estynwch
dafod? onid meibion camwedd *a* had ffal-
sedd *ydych* chwi?
5 Y rhai a ymwresogwch ‡ ag eilunod
[c] dan bob pren deiliog, [d] gan ladd y
plant yn y glynnoedd dan gromlechydd y
creigiau.
6 Ynghabol-feini 'r afon *y mae* dy ran;
hwynt hwy *yw* dy gwttws: iddynt hwy
hefyd y tywelltaist ddïod-offrwm, *ac* yr
offrymmaist fwyd-offrwm. Ai yn y rhai
hyn yr ymgysurwn?
7 [e] Ar fynydd uchel a dyrchafedig y go-
sodaist dy wely: dringaist hefyd yno i
aberthu aberth.
8 Ynghîl y drysau hefyd a'r pyst y gosod-
aist dy goffadwriaeth: canys *ym*ddinoeth-
aist *i arall* heb fy llaw i, a dringaist; he-
laethaist dy wely, ac § a wnaethost *ammod*
rhyngot â hwynt; [f] ti a hoffaist eu gor-
weddle hwynt ‖ pa le bynnag y gwelaist.
9 [g] Cyfeiriaist hefyd at y brenhin ag en-
naint, ac amlheaist dy ber-arogiau: anfon-
aist hefyd dy genhadau i bell, ac ymostyn-
gaist hyd uffern.
10 Ym maint dy ffordd yr ymflinaist; *ac*
ni ddywedaist, Nid oes obaith: cefaist fy-
wyd dy law; am hynny ni chlefychaist.
11 [h] Pwy hefyd a arswydaist ac a ofn-
aist, fel y dywedaist gelwydd, ac na chof-
iaist fi, ac nad ystyriaist yn dy galon? oni
thewais i â son er ys talm, a thithau heb
fy ofni?
12 Myfi a fynegaf dy gyfiawnder, a'th
weithredoedd; canys ni wnant it' les.
13 ¶ Pan waeddech, gwareded dy gyn-
nulleidfaoedd di: eithr y gwŷnt a'u dwg
hwynt ymaith oll; oferedd a'u cymmer
*hwynt*: ond yr hwn a obeithia ynof fi a
etifedda'r tir, ac a feddianna fynydd fy
sancteiddrwydd.
14 Ac efe a ddywed, [i] Palmentwch,
palmentwch, parottówch y ffordd, cyfodwch
y rhwystr o ffordd fy mhobl.
15 Canys fel hyn y dywed y Goruchel
a'r dyrchafedig, yr hwn a breswylia dra-
gywyddoldeb, ac [k] *y mae* ei enw 'n Sanct-
aidd, Y goruchelder a'r cyssegr a bres-
wyliaf; a [l] chyd â'r cystuddiedig a'r isel
o yspryd, [m] i fywhâu 'r rhai isel o yspryd,
ac i fywhâu calon y rhai cystuddiedig.
16 Canys [n] nid byth yr ymrysonaf, ac
nid yn dragywydd y digiaf: o herwydd yr
yspryd a ballai o'm blaen i, a'r eneidiau [o] a
wneuthum i.
17 Am anwiredd ei gybydd-dod ef y dig-
iais, ac y tarewais ef: [p] ymguddiais, a dig-
iais, ac efe a aeth rhagddo 'n † gildynnus ar
hŷd ffordd ei galon.
18 Ei ffyrdd a welais, a mi a'i iachâf ef:
tywysaf ef hefyd, ac adferaf gysur iddo, ac
i'w alarwŷr.
19 Myfi sy'n creu ffrwyth y gwefusau;
[q] Heddwch, heddwch, i bell, ac i agos, medd
yr ARGLWYDD; a mi a'i iachâf ef.
20 Ond y rhai anwir *sydd* fel y môr yn
dygyfor, pan na allo fod yn llonydd, yr
hwn y mae ei ddyfroedd yn bwrw allan dom
a llaid.
21 [r] Ni *bydd* heddwch, medd fy NUW,
i'r rhai annuwiol.

[g] Psal. 96. 12. a 98. 8. Pen. 35. 1.
[h] 1 Chron. 16. 33.
[i] Pen. 41. 19.
[k] Mich. 7. 4.
Rhagf. 22. P. Sul 3 ar ol yr Ystwyll, P.
Cylch 712.
[a] Mat. 3. 2. a 4. 17. Rhuf. 13. 11, 12.
[b] Edrych Deut. 23. 1, 2, 3.
[c] Pen. 2. 2.
† *fy nhŷ gweddi.*
[d] Mat. 21. 13. Mar. 11. 17. Luc 19. 46.
[e] Ioan 10. 16. Eph. 2. 14, 15.
‡ Heb., *at ei gasgledigion ef.*
§ Neu, *yn breuddwydio, neu, yn siarad trwy eu hûn.*
[f] Ezec. 34. 2, 3.
‖ *yn ei duedd.*
[g] Diar. 23. 35. Pen. 22. 13.
Rhagf. 23. B. Sul 4 ar ol yr Ystwyll, B.
Cylch 698.
[a] Psal. 12. 1. Mich. 7. 2.
† Heb. *trugaredd, neu, duwioldeb.* [b] Edrych 2 Bren. 22. 20. Doeth. 4. 10, &c.
‡ Neu, *rhag drygioni.* § Neu, *mewn tangnefedd.*
‖ *gwelyau.*
† Neu, *ger ei fron ef.*
‡ Neu, *ym mhlith y derw.*
[c] 2 Bren. 16. 4.
[d] Lef. 18. 21. a 20. 2. 2 Bren. 16. 3. a 23. 10. Ezec. 16. 20. a 20. 26.
[e] Ezec. 16. 16, 25.
§ Neu, *a'i neddaist i ti yn helaethach nâ'r eiddynt hwy.*
[f] Ezec. 16. 26, 28. a 23. 2, 20.
‖ Neu, *gwnaethost le.*
[g] Pen. 30. 6. Ezec. 16. 33. a 23. 16.
[h] Pen. 51. 12, 13.
[i] Pen. 40. 3. a 62. 10.
[k] Job 6. 10.
[l] Psal. 34. 18. a 51. 17. a 138. 6. Pen. 66. 2.
[m] Psal. 147. 3. Pen. 61. 1.
[n] Psal. 103. 9. Mich. 7. 18.
[o] Num. 16. 22. Job 34. 14. Heb. 12. 9.
[p] Pen. 45. 15.
† Neu, *drofaus.*
[q] Eph. 2. 17
[r] Pen. 48. 22.

## PEN. LVIII.

Rhagf. 23. P. Sul 4 ar ol yr Ystwyll, P.

1 *Y prophwyd wedi ei yrru i argyoeddi rhag-*
*rith, 3 yn dangos beth yw ympryd ffuant-*
*us, a gwir ympryd, 8 yn dangos pa addew-*
*idion sy ddeddfus am dduwioldeb, 13 ac am*
*gadw'r Sabboth.*

Cylch 698.

LLEFA â'th gêg, nac arbed, dyrchafa
dy lais fel udgorn, a mynega i'm
pobl eu camwedd, a'u pechodau i dŷ Ja-
cob.
2 Etto beunydd y'm ceisiant, ac a ewyllys-
iant wybod fy ffyrdd, fel cenedl a wnel-
ai gyfiawnder, ac ni wrthodai farnedig-
aeth ei Duw: gofynant i mi farnedig-
aethau cyfiawnder, ewyllysiant nesâu *at*
DDUW.
3 ¶ Pa ham, *meddant*, yr ymprydiasom,
ac ni's gwelaist? ᵃ y cystuddiasom ein he-
naid, ac ni's gwybuost? Wele, yn y dydd yr
ymprydioch yr ydych yn cael gwynfyd, ac
yn mynnu † eich holl ddyledion.
4 Wele, i ymryson a chynnen yr ympryd-
iwch, ac i daro â dwrn anwiredd: ‡ nac
ymprydiwch fel y dydd *hwn*, i beri clywed
eich llais yn yr uchelder.
5 Ai ᵇ dyma'r ympryd a ddewisais?
§ dydd i ddyn i gystuddio ei enaid? ai
crymmu ei ben fel brwynen *ydyw*, a
ᶜ thaenu sachliain a lludw danot? ai hyn a
elwi yn ympryd, ac yn ddiwrnod cymmer-
adwy gan yr ARGLWYDD?
6 Onid dyma'r ympryd a ddewisais?
dattod rhwymau anwiredd, tynnu ymaith
feichiau ‖ trymmion, a ᵈ gollwng y rhai
† gorthrymmedig yn rhyddion, a thorri o
honoch bob iau?
7 ᵉ Onid torri dy fara i'r newynog, a
dwyn o honot y ‡ crwydraid i dŷ? a phan
welych noeth, ei ddilladu; ac nad ymgudd-
iech oddi wrth ᶠ dy gnawd dy hun?
8 ¶ ᵍ Yna y tyrr dy oleuni allan fel y
wawr, a'th iechyd a darddа yn fuan: a'th
gyfiawnder a â o'th flaen; ʰ gogoniant yr
ARGLWYDD a'th § ddilyn.
9 Yna y gelwi, a'r ARGLWYDD a ettyb;
y gweiddi, ac efe a ddywed, Wele fi. Os
bwri o'th fysg yr iau, estyn bŷs, a dywedyd
oferedd;
10 Os tynni allan dy enaid i'r newynog,
a diwallu'r enaid cystuddiedig: yna dy
oleuni a gyfyd mewn tywyllwch, a'th dy-
wyllwch *fydd* fel hanner dydd:
11 A'r ARGLWYDD a'th arwain yn
wastad, ac a ddiwalla dy enaid ar sychder,
ac a wna dy esgyrn yn freision: a thi
a fyddi fel gardd wedi ei dyfrhâu, ac megis
ffynnon ddwfr, yr hon ni ‖ phalla ei dy-
froedd.
12 A'r *rhai a fyddant* o honot ti ⁱ a adeil-
adant yr hen ddiffaeth-leoedd; ti a gyfodi
sylfeini llawer cenhedlaeth: a thi a elwir yn
gauwr yr adwy, yn gyweiriwr llwybrau i
gyfanneddu ynddynt.
13 ¶ O throi dy droed oddi wrth y Sab-
both, *heb* wneuthur dy ewyllys ar fy nydd
sanctaidd; a galw'r Sabboth yn hyfryd-
wch; sanct yr ARGLWYDD yn ogoneddus;
a'i anrhydeddu ef, heb wneuthur dy ffyrdd
dy hun, heb geisio dy ewyllys dy hun, na
dywedyd *dy* eiriau *dy hun*:
14 Yna yr ymhyfrydi yn yr ARGLWYDD,
ac mi a wnaf it' ᵏ farchogaeth ar uchelfeydd
y ddaear, ac a'th borthaf ag etifeddiaeth
Jacob dy dad: canys genau'r ARGLWYDD
a'i llefarodd.

ᵃ Lef. 16. 29, 31. a 23. 27.
† Neu, *y poenau y gofidiwch eraill â hwynt.* Heb. *gofidiau.*
‡ Neu, *nid ydych yn ymprydio.*
ᵇ Zech. 7. 5.
§ Neu, *cystuddio o ddyn ei enaid dros ddiwrnod?*
ᶜ Esther 4. 3. Job 2. 8. Dan. 9. 3.
‖ Heb. *yr iau.*
ᵈ Jer. 34. 9.
† Heb. *drylliedig.*
ᵉ Ezec. 18. 7, 16. Mat. 25. 35.
‡ Neu, *cystuddiol.*
ᶠ Neh. 5. 5.
ᵍ Job 11. 17.
ʰ Exod. 14. 19.
§ Heb. *gasgl.*
‖ Heb. *twyllo.*
ⁱ Pen. 61. 4.
ᵏ Deut. 32. 13.

## PEN. LIX.

Rhagf. 24. B. Sul 5 ar ol yr Ystwyll, B.

1 *Ysgeler naturiaeth pechod.* 3 *Pechodau'r*
*Iuddewon.* 9 *Am bechod y daw aflwydd.*
16 *O Dduw yn unig y mae iachawdwriaeth.*
20 *Cyfammod y Prynwr.*

Cylch 698.

WELE, ᵃ ni fyrhawyd llaw'r AR-
GLWYDD, fel na allo achub; ac ni
thrymhaodd ei glust ef, fel na allo glywed:
2 Eithr eich anwireddau chwi a ysgarodd
rhyngoch chwi a'ch Duw, a'ch pechodau a
† guddiasant ei wyneb oddi wrthych, fel na
chlywo.
3 Canys ᵇ eich dwylaw a halogwyd â
gwaed, a'ch bysedd â chamwedd: eich gwe-
fusau a draethasant gelwydd, eich tafod a
fyfyriodd anwiredd.
4 Nid *oes* a alwo am gyfiawnder, nac a
ddadleu dros y gwirionedd: *y maent* yn
gobeithio mewn gwagedd, ac yn dywedyd
celwydd; ᶜ yn beichiogi ar flinder, ac yn
esgor ar anwiredd.
5 Wyau ‡ asp a ddodwasant, a gweoedd y
pryf-coppyn a weant: yr hwn a fwytty o'u
hwyau a fydd marw, a'r hwn a § sathrer a
dyrr allan yn wiber.
6 ᵈ Eu gweoedd hwy ni byddant yn wisg-
oedd, ac nid ymddilladant â'u gweithred-
oedd: eu gweithredoedd *ydynt* weithred-
oedd anwiredd, a gwaith trawsder *sydd* yn
eu dwylaw.
7 ᵉ Eu traed a redant i ddrygioni, a hwy
a frysiant i dywallt gwaed gwirion: eu
meddyliau *sydd* feddyliau anwir; distryw a
‖ dinystr *sydd* ar eu ffyrdd hwynt.
8 Ffordd heddwch nid adwaenant; ac nid
*oes* † gyfiawnder yn eu llwybrau: gwnaeth-
ant iddynt lwybrau ceimion: pwy bynnag a
rodio ynο, nid edwyn heddwch.
9 ¶ Am hynny y ciliodd barnedigaeth
oddi wrthym, ac ni'n goddiweddodd cyf-
iawnder: disgwyliasom am oleuni, ac wele
dywyllwch; am ddisgleirdeb, *ac* yn y fagddu
yr ydym yn rhodio.
10 ᶠ Palfalasom fel deillion â'r pared, ïe fel
*rhai* heb lygaid y palfalasom: tramgwyddas-
om ar hanner dydd fel yn y cyfnos; *oeddem*
mewn lleoedd anghyfannedd fel rhai meirw.
11 Nyni oll a ruasom fel eirth, a ᵍ chan
riddfan y griddfanasom fel colommennod:
disgwyliasom am farn, ac nid *oes dim*;
am iachawdwriaeth, *ac* ymbellhaodd oddi
wrthym.
12 Canys amlhaodd ein camweddau ger
dy fron, a thystiolaethodd ein pechodau i'n
herbyn: o herwydd ein camweddau *sydd*
gyd â ni; a'n hanwireddau, ni a'u had-
waenom:
13 Camweddu, a dywedyd celwydd yn
erbyn yr ARGLWYDD, a chilio oddi ar
ol ein Duw, dywedyd trawsder, ac anu-
fudd-dod, myfyrio a thraethu o'r galon
eiriau gau.
14 Barn hefyd a droëd yn ei hol, a chyf-
iawnder a safodd o hirbell: canys gwirio-
nedd a gwympodd yn yr heol, ac uniondeb
ni all ddyfod i mewn.
15 Ië, gwirionedd sydd yn pallu, a'r hwn
sydd yn cilio oddi wrth ddrygioni ‡ a'i
gwna ei hun yn yspail: a gwelodd yr AR-
GLWYDD *hyn*, a drwg oedd yn ei olwg nad
*oedd* barn.
16 ¶ ʰ Gwelodd hefyd nad *oedd* gwr, a
i rhyfeddodd nad *oedd* eiriolwr: ᵏ am hynny
ei fraich a'i hachubodd, a'i gyfiawnder ei
hun a'i cynhaliodd.

ᵃ Num. 11. 23. Pen. 50. 2.
† Neu, *wnaeth iddo guddio.*
ᵇ Pen. 1. 15.
ᶜ Job 15. 35. Psal. 7. 14.
‡ Neu, *nadroedd.*
§ Neu, *dasgeller sydd fel pe torrai allan wiber.*
ᵈ Job 8. 14, 15.
ᵉ Diar. 1. 16. Rhuf. 3. 15.
‖ Heb. *thorriad.*
† Neu, *barn.*
ᶠ Deut. 28. 29. Job 5. 14. Amos 8. 9.
ᵍ Pen. 38. 14.
‡ Neu, *a gyfrifir yn ynfyd.*
ʰ Pen. 63. 5.
ⁱ Mar. 6. 6.
ᵏ Psal 98. 1.

[l] Eph. 6. 14, 17. 1 Thess. 5. 8. — 17 [l] Canys efe a wisgodd gyfiawnder fel
llurig, a helm iachawdwriaeth am ei ben;
ac a wisgodd wisgoedd dïal yn ddillad; ïe
gwisgodd zêl fel cochl.
[m] Pen. 63. 6. — 18 [m] Yn ol y † gweithredoedd, ïe yn *eu*
hol *hwynt*, y tâl efe, llid i'w wrthwyneb-
† Neu, taledigaethau. — wŷr, taledigaeth i'w elynion; taledigaeth i'r
ynysoedd a dâl efe.
[n] Psal. 113. 3. Mal. 1. 11. — 19 [n] Felly 'r ofnant enw 'r ARGLWYDD
o'r gorllewin, a'i ogoniant ef o godiad
haul: pan ddelo 'r gelyn i mewn [o] fel afon,
[o] Dat. 12. 15. — yspryd yr ARGLWYDD ‡ a'i hymlid ef
‡ Neu, a gyfyd faner yn ei erbyn ef. — ymaith.
20 ¶ Ac i Sïon y daw'r [p] gwaredydd, ac
i'r rhai a droant *oddi wrth* anwiredd yn Ja-
[p] Rhuf. 11. 26. — cob, medd yr ARGLWYDD.
21 A minnau, dyma fy nghyfammod â
hwynt, medd yr ARGLWYDD; Fy yspryd
yr hwn *sydd* arnat, a'm geiriau y rhai a
osodais yn dy enau, ni chiliant o'th enau,
nac o enau dy had, nac o enau had dy had,
medd yr ARGLWYDD, o hyn allan byth.

## PEN. LX.

Rhagf. 24. P. Ystwyll, B.

1 *Gogoniant yr eglwys pan ddelo'r cenhedloedd yn dra aml atti;* 15 *a'r bendithion mawr a fydd ar ol ychydig gystudd.*

Cylch 698.

CYFOD, llewyrcha; canys daeth dy oleu-
ni, [a] a chyfododd gogoniant yr AR-
[a] Mal. 4. 2. — GLWYDD arnat.
2 Canys wele, tywyllwch a orchuddia'r
ddaear, a'r fagddu y bobloedd: ond arnat ti
y cyfyd yr ARGLWYDD, a'i ogoniant a welir
arnat.
[b] Dat. 21. 24. — 3 [b] Cenhedloedd hefyd a rodiant at dy
oleuni, a brenhinoedd at ddisgleirdeb dy
gyfodiad.
[c] Pen. 49. 18, 22, 23. a 66. 11, 12. — 4 [c] Cyfod dy lygaid oddi amgylch, ac
edrych; ymgasglasant oll, daethant attat:
dy feibion a ddeuant o bell, a'th ferched a
fegir wrth *dy* ystlys.
† Neu, y llifeiri. — 5 Yna y cei weled, ac † yr ymddisgleiri;
dy galon hefyd a ofna, ac a helaethir; am
‡ Neu, dwrwf. — droi attat ‡ [d] liosowgrwydd y môr, golud y
cenhedloedd a ddaw i ti.
[d] Rhuf. 11. 15. — 6 Llïaws y camelod a'th orchuddiant,
[e] Pen. 61. 6. — *sef* cyflym gamelod Midian ac Ephah;
hwynt oll o Seba a ddeuant; [e] aur a thus a
Mat. 2. 11. — ddygant; a moliant yr ARGLWYDD a fyne-
gant.
7 Holl ddefaid Cedar a ymgasglant attat
ti, hyrddod Nebaioth a'th wasanaethant:
hwy a ddeuant i fynu yn gymmeradwy ar
fy allor, a mi a anrhydeddaf dŷ fy ngogo-
niant.
8 Pwy *yw* y rhai hyn a ehedant fel cwm-
mwl, ac fel colommennod i'w ffenestri?
9 Yn ddïau yr ynysoedd a'm disgwyliant,
§ gyntaf. — a llongau Tarsis yn § bennaf, [f] i ddwyn
[f] Gal. 4. 26. — dy feibion o bell, eu harian *hefyd* a'u haur
[g] Jer. 3. 17. — gyd â hwynt, [g] i enw'r ARGLWYDD dy
DDUW, ac i Sanct Israel, am iddo dy ogo-
neddu di.
[h] Zech. 6. 15. — 10 A [h] meibion dïeithr a adeiladant dy
furiau, a'u brenhinoedd a'th wasanaethant;
canys yn fy nig y'th darewais, ac o'm he-
wyllys da fy hun y tosturiais wrthyt.
[i] Dat. 21. 25. — 11 Am hynny [i] dy byrth a fyddant yn
agored yn wastad, ni chauir hwynt na dydd
na nos, i ddwyn attat olud y cenhedloedd,
fel y dyger eu brenhinoedd hwynt hefyd.
[k] Zech. 14. 17. — 12 Canys [k] y genedl a'r deyrnas ni'th wasa-
naetho di, a ddifethir; a'r cenhedloedd hyn-
ny a lwyr-ddinystrir.
[l] Pen. 35. 2. a 41. 19. — 13 [l] Gogoniant Libanus a ddaw attat,
y ffynidwŷdd, ffawŷdd, a box ynghŷd,
i harddu lle fy nghyssegr; harddaf hefyd
[m] le fy nhraed. — [m] Edrych 1 Chron. 28. 2. Psal. 132. 7.
14 A meibion dy gystuddwŷr [n] a ddeu-
ant attat yn ostyngedig: a'r rhai oll a'th
ddïystyrasant a ymostyngant wrth wadnau — [n] Pen. 49. 23. Dat. 3. 9.
dy draed, ac a'th alwant yn Ddinas yr AR-
GLWYDD, yn Sïon Sanct Israel.
15 Lle y buost yn wrthodedig ac yn gas,
ac heb gynniweirydd *trwot*, gwnaf di yn
ardderchowgrwydd tragywyddol, *ac* yn llaw-
enydd i'r holl genhedlaethau.
16 [o] Sugni hefyd laeth y cenhedloedd, ïe — [o] Pen. 49. 23. a 61. 6. a 66. 11, 12.
bronnau brenhinoedd a sugni; a chei wy-
bod mai [p] myfi 'r ARGLWYDD *yw* dy achub- — [p] Pen. 43. 3.
ydd, a'th waredydd *yw* cadarn *Dduw* Jacob.
17 Yn lle pres y dygaf aur, ac yn lle haiarn
y dygaf arian, ac yn lle coed, bres, ac yn lle
cerrig, haiarn; a gwnaf dy swyddogion yn
heddychol, a'th drethwŷr yn gyfiawn.
18 Ni chlywir mwy *son am* drais yn dy
wlad, *na* distryw na dinystr yn dy derfynau:
eithr ti a elwi [q] dy fagwyrydd yn Iachaw- — [q] Pen. 26. 1.
dwriaeth, a'th byrth yn Foliant.
19 [r] Ni bydd yr haul it' mwyach yn — [r] Dat. 21. 23. a 22. 5.
oleuni 'r dydd, a'r lleuad ni oleua yn lle-
wyrch i ti: eithr yr ARGLWYDD fydd i ti
yn oleuni tragywyddol, [s] a'th DDUW yn — [s] Zech. 2. 5.
ogoniant it'.
20 Ni fachluda dy haul mwyach, a'th
leuad ni phalla: o herwydd yr ARGLWYDD
fydd it' yn oleuni tragywyddol, a dyddiau
dy alar a ddarfyddant. — [t] Pen. 52. 1.
21 [t] Dy bobl hefyd *fyddant* gyfiawn oll: — [u] Psal. 37. 11. 22.
[u] etifeddant y tir byth, *sef* [x] blaguryn fy
mhlanhigion, [y] gwaith fy nwylaw, fel y'm — Mat. 5. 5.
gogonedder. — [x] Pen. 61. 3. Mat. 15. 13.
22 Y bychan a fydd yn fil, a'r gwael yn
genedl gref. Myfi 'r ARGLWYDD a brys- — [y] Pen. 29. 23. a 45. 11.
uraf hynny yn ei amser.

## PEN. LXI.

1 *Swydd Crist.* 4 *Parodrwydd* 7 *a bendithion y ffyddloniaid.* — Rhagf. 29. B.

Cylch 698.

[a] YSPRYD yr ARGLWYDD DDUW *sydd*
arnaf; o herwydd yr ARGLWYDD
a'm henneiniodd i efangylu *i'r* rhai llari- — [a] Luc 4. 18.
aidd; efe a'm hanfonodd [b] i rwymo 'r rhai — [b] Psal. 147. 3.
ysig eu calon, i gyhoeddi [c] rhyddid i'r — Pen. 57. 15.
caethion, ac agoriad carchar i'r *rhai sy'n* — [c] Pen. 42. 7.
rhwym;
2 I gyhoeddi blwyddyn gymmeradwy 'r
ARGLWYDD, a dydd dïal ein DUW ni;
[d] i gysuro pob galarus; — [d] Mat. 5. 4.
3 I osod i alarwŷr Sïon, *ac* [e] i roddi idd- — [e] Psal. 30. 11.
ynt ogoniant yn lle lludw, olew llawenydd
yn lle galar, gwisg moliant yn lle yspryd
cystuddiedig; fel y gelwid hwynt yn Bren-
nau cyfiawnder, [f] yn Blanhigyn yr AR- — [f] Pen. 60. 21.
GLWYDD, fel y gogonedder ef.
4 ¶ [g] Adeiladant hefyd yr hen ddiffaethfa, — [g] Pen. 58. 12.
cyfodant yr anghyfanneddfa gynt, ac adne-
wyddant ddinasoedd diffaeth, ac anghyf-
annedd-dra llawer oes.
5 A dïeithriaid a safant ac a borthant eich
praidd, a meibion dïeithr *fydd* arddwŷr a
gwinllanwŷr i chwi.
6 Chwithau a elwir [h] yn Offeiriaid i'r — [h] 1 Petr 2. 5, 9.
ARGLWYDD: Gweinidogion ein DUW ni, — Dat. 1. 6. a 5. 10.
meddir wrthych; [i] golud y cenhedloedd a
fwynhêwch, ac yn eu gogoniant hwy 'r ym- — [i] Pen. 60. 6, 16.
ddyrchefwch.
7 ¶ Yn lle eich cywilydd [k] *y cewch* ddau — [k] Zech. 9. 12.
ddyblyg; ac *yn lle* gwaradwydd hwy a la-
wenychant yn eu rhan: am hynny yn y tir
y meddiannant *ran* ddwbl; llawenydd tra-
gywyddol fydd iddynt.

8 Canys myfi 'r ARGLWYDD a hoffaf gy-
l Pen. 1. 11, 13. fiawnder; [l] yr wyf yn casâu trais yn boeth-
offrwm, ac a gyfarwyddaf eu gwaith mewn
gwirionedd, ac a wnaf â hwynt gyfammod
tragywyddol.
9 Eu had hwynt hefyd a adweinir ym
mysg y cenhedloedd, a'u hiliogaeth hwynt
ynghanol y bobl: y rhai a'u gwelant a'u
hadwaenant, mai hwynt-hwy *yw*'r had a
fendithiodd yr ARGLWYDD.
10 Gan lawenychu y llawenychaf yn yr
ARGLWYDD, fy enaid a orfoledda yn fy
m Psal. 132. 9. 16. NUW: canys [m] gwisgodd fi â gwisgoedd
iachawdwriaeth, gwisgodd fi â mantell cyf-
† Heb. *yn ymharddu fel offeiriad.* iawnder; megis y mae priod-fab † yn *ym-*
*wisgo* â harddwisg, ac fel yr *ymdrwsia* prïod-
ferch â'i thlysau.
11 Canys megis y gwna 'r ddaear i'w gwellt
dyfu, ac fel y gwna gardd i'w hadau egino,
felly y gwna 'r Arglwydd IOR i gyfiawnder
a moliant darddu ger bron yr holl genhed-
loedd.

## PEN. LXII.

Rhagf. 29. P. 1 *Awyddus chwant y prophwyd i gadarnhâu*
*yr eglwys yn addewidion Duw. 5 Dyled-*
*swydd y gweinidogion wrth bregethu 'r*
*efengyl, 10 a pharottôi 'r bobl i'w derbyn.*

Cylch 698. ER mwyn Sïon ni thawaf, ac er mwyn
Jerusalem ni ostegaf, hyd onid elo ei
chyfiawnder hi allan fel disgleirdeb, a'i hia-
chawdwriaeth hi fel lamp yn llosgi.
2 A'r cenhedloedd a welant dy gyfiawn-
der, a'r holl frenhinoedd dy ogoniant: yna
a Pen. 65. 15. Edrych adn. 4, 12. [a] y gelwir arnat enw newydd, yr hwn a
enwa genau 'r ARGLWYDD.
3 Byddi hefyd [b] yn goron gogoniant yn
b Zech. 9. 16. llaw 'r ARGLWYDD, ac yn dalaith frenhinol
yn llaw dy DDUW.
c Hos. 1. 10. 1 Petr 2. 10. 4 [c] Ni ddywedir am danat mwy, [d] Gwrth-
odedig; am dy dir hefyd ni ddywedir mwy,
Anghyfannedd: eithr ti a elwir † Hephsi-
d Pen. 54. 6, 7. bah; a'th dir, ‡ Beulah: canys y mae 'r
ARGLWYDD yn dy hoffi, a'th dir a brïodir.
† Sef, *y mae fy ewyllys arni.* 5 Canys *fel* y prïoda gwr ieuangc for-
wyn, y prïoda dy feibion dydi; ac â llaw-
enydd prïod-fab am brïod-ferch, [e] y llaw-
‡ Sef, *prïodol.* enycha dy DDUW o'th blegid di.
6 [f] Ar dy furiau di, Jerusalem, y gosodais
e Pen. 65. 19. geidwaid, *y rhai* ni thawant ddydd na nos
yn wastad: y rhai ydych § yn cofio 'r AR-
f Ezec. 3. 17. a 33. 7. GLWYDD, na ddistewch;
7 Ac na adêwch ddistawrwydd iddo, hyd
§ Neu, *gofiadur-iaid yr Arglwydd.* oni sicrhao, ac hyd oni osodo Jerusalem yn
foliant ar y ddaear.
8 Tyngodd yr ARGLWYDD i'w ddeheu-
|| Heb. *Os rhoddaf.* law, ac i'w fraich nerthol, || Yn ddiau ni
[g] roddaf dy ŷd mwyach yn ymborth i'th
g Deut. 28. 31, &c. Jer. 5. 17. elynion; a meibion dïeithr nid yfant dy
win, yr hwn y llafuriaist am dano:
9 Eithr y rhai a'i casglant a'i bwyttânt, ac
a foliannant yr ARGLWYDD; a'r rhai a'i
h Edrych Deut. 12. 12. a 14. 26. a 16. 11, 14. cynnullasant a'i hyfant [h] o fewn cynteddo-
edd fy sancteiddrwydd.
10 ¶ Cynniweirwch, cynniweirwch trwy 'r
pyrth; [i] parottôwch ffordd y bobl; pal-
i Pen. 40. 3. a 57. 14. mentwch, palmentwch brif-ffordd; digar-
regwch *hi*: cyfodwch faner i 'r bobloedd.
11 Wele, yr ARGLWYDD a gyhoeddodd
k Zech. 9. 9. Mat. 21. 5. Ioan 12. 15. hyd eithaf y ddaear, [k] Dywedwch wrth
ferch Sïon, Wele dy iachawdwriaeth yn
dyfod, wele ei [l] gyflog gyd ag ef, a'i † waith
l Pen. 40. 10. Dat. 22. 12. o'i flaen.
12 Galwant hwynt hefyd yn Bobl sanct-
† Heb. *dalad.* aidd, yn Waredigion yr ARGLWYDD: ti-
thau a elwir, Yr hon a geisiwyd, Dinas ni's
gwrthodwyd.

## PEN. LXIII.

1 *Crist yn dangos pwy ydyw, 2 pa beth yw ei* Rhagf. 30. B.
*oruchafiaeth ar ei elynion, 7 a pha beth yw*
*ei drugaredd tu ag at ei eglwys. 10 Yn ei*
*gyfiawn ddigllonedd y mae 'n meddwl am*
*ei hael drugaredd. 15 Yr eglwys yn ei*
*gweddi, 17 a'i hachwyn, yn gwneuthur*
*proffes o'i ffydd.*

PWY *yw* hwn yn dyfod o Edom, [a] yn goch Cylch
ei ddillad o Bosrah? hwn *sydd* hardd 698.
yn ei wisg, yn ymdaith yn amlder ei rym? a Dat. 19.
Myfi, yr hwn a lefaraf mewn cyfiawnder, 13.
*ac wyt* gadarn i iachâu.
2 Paham *yr wyt* yn goch dy ddillad,
a'th wisgoedd fel yr hwn a sathrai mewn
gwin-wryf?
3 [b] Sethrais y gwin-wryf fy hunan, ac o'r b Galar. 1.
bobl nid *oedd* un gyd â mi; canys mi a'u 15.
sathraf hwynt yn fy nig, ac a'u mathraf Dat. 14. 10,
hwynt yn fy llidiowgrwydd; a'u gwaed 20. a 19. 15.
hwynt a daenellir ar fy nillad, a'm holl
wisgoedd a lychwinaf.
4 Canys [c] dydd dïal *sydd* yn fy nghalon, c Pen. 34.
a blwyddyn fy ngwaredigion a ddaeth. 8. a 61. 2.
5 [d] Edrychais hefyd, ac [e] nid *oedd* gyn- d Pen. 59.
northwywr; rhyfeddais hefyd am nad *oedd* 16.
gynhaliwr: yna [f] fy mraich fy hun a'm e Ioan 16.
hachubodd, a'm llidiowgrwydd a'm cyn- 32.
haliodd. f Psal. 98. 1.
6 A mi a sathraf y bobl yn fy nig, ac [g] a'u g Dat. 16.
meddwaf hwynt yn fy llidiowgrwydd; a'u 6.
cadernid a ddisgynaf i'r llawr.
7 ¶ Cofiaf drugareddau 'r ARGLWYDD, a
moliant DUW, yn ol yr hyn oll a roddodd
DUW i ni, ac amlder *ei* ddaioni i dŷ Israel, h Barn. 10.
yr hyn a roddodd efe iddynt yn ol ei dostur- 16.
iaethau, ac yn ol amlder ei drugareddau. Zech. 2. 8. Act. 9. 4.
8 Canys efe a ddywedodd, Dïau fy i Deut. 7. 7,
mhobl *ydynt* hwy, meibion ni ddywed- 8.
ant gelwydd; felly efe a aeth yn Iach- k Exod. 19.
awdwr iddynt. 4.
9 [h] Yn eu holl gystudd hwynt efe a Deut. 1. 31. Pen. 46. 3,
gystuddiwyd, ac angel ei gydrycholdeb 4.
a'u hachubodd hwynt; [i] yn ei gariad, ac l Exod. 15.
yn ei drugaredd y gwaredodd efe hwynt: 24.
[k] efe a'u dygodd hwynt, ac a'u harweiniodd Num. 14.
yr holl ddyddiau gynt. 11. Psal. 78. 56.
10 ¶ Hwythau oeddynt [l] wrthryfelgar, a 95. 9.
ac [m] a ofidiasant ei Yspryd sanctaidd ef: m Psal. 78.
am hynny y trodd efe yn elyn iddynt, *ac* 40. Eph. 4. 30.
yr ymladdodd yn eu herbyn. n Exod. 14.
11 Yna y cofiodd *efe*'r dyddiau gynt, 30.
Moses *a*'i bobl, *gan ddywedyd*, *Mae*'r hwn Jer. 2. 6.
[n] a'u dygodd hwynt i fynu o'r môr, gyd â † Neu,
† bugail ei braidd? *mae*'r hwn [o] a osododd *bugeiliaid*, fe.
ei yspryd sanctaidd o'i fewn ef? Psal. 77.
12 Yr hwn a'*u* tywysodd *hwynt* â deheu- 20.
law Moses, ac â'i ogoneddus fraich, [p] gan o Neh. 9.
hollti 'r dyfroedd o'u blaen hwynt, i wneu- 20. Hag. 2. 5.
thur iddo ei hun enw tragywyddol? p Exod. 14.
13 Yr hwn a'u harweiniodd hwynt trwy 'r 21.
dyfnderau, fel march yn yr anialwch, *fel* na Jos. 3. 16.
thramgwyddynt? q Deut. 26.
14 Fel y disgyn anifail i 'r dyffryn, y gwna 15. Psal. 80. 14.
yspryd yr ARGLWYDD iddo orphwys: felly ‡ Neu,
y tywysaist dy bobl, i wneuthur it' enw *swn dy*
gogoneddus. *ymysgaroedd.*
15 ¶ [q] Edrych o'r nefoedd, a gwel o an- r Jer. 31.
nedd dy sancteiddrwydd a'th ogoniant: *mae* 20.
dy zêl a'th gadernid, ‡ lliosowgrwydd [r] dy Hos. 11. 8.
dosturiaethau a'th drugareddau tu ag attaf fi? s Job 14.
a ymattaliasant? 21. Preg. 9. 5.
16 Canys ti *yw* ein Tad ni, er [s] nad ed- § Neu,
wyn Abraham ni, ac na'n cydnebydd Israel: *ein gwa-*
ti, ARGLWYDD, *yw* ein Tad ni, § ein gwa- *redydd*
redydd; dy enw *sydd* erioed. *erioed yw dy enw*

17 ¶ Pa ham, ARGLWYDD, y gwnaeth-
ost i ni gyfeiliorni allan o'th ffyrdd? *ac y*
caledaist ein calonnau oddi wrth dy ofn?
Dychwel er mwyn dy weision, llwythau dy
etifeddiaeth.
18 Dros ychydig ennyd y meddiannodd
[t] Psal. 74. 7. dy bobl sanctaidd: [t] ein gwrthwynebwŷr a
fathrasant dy gyssegr di.
19 Nyni ydym *eiddot ti:* erioed ni buost
† Neu, *ni elwid hwynt ar dy enw.* yn arglwyddiaethu arnynt hwy; *ac* † ni
elwid dy enw arnynt.

## PEN. LXIV.

Rhagf. 30. P. Sul 5 ar ol yr Ystwyll, P. 1 *Yr eglwys yn gweddïo ar i Dduw egluro ei*
*allu; 5 ac wrth fawrygu trugaredd Duw,*
*yn cyfaddef ei llygredigaeth naturiol: 9 yn*
*cwyno rhag ei chystudd.*

Cylch 698. OH na rwygit y nefoedd, a disgyn, *fel*
y [a] toddai 'r mynyddoedd o'th flaen di,
[a] Mich. 1. 4. 2 Fel *pan* losgo 'r tân greision, y pair y
tân i'r dwfr ferwi; i hyspysu dy enw i'th
wrthwynebwŷr, *fel* yr ofno 'r cenhedloedd
rhagot!
[b] Exod. 34. 10. 3 Pan [b] wnaethost bethau ofnadwy ni
Barn. 5. 4, 5. ddisgwyliasom *am danynt,* y disgynaist, *a'r*
mynyddoedd a doddasant o'th flaen.
Psal. 68. 8. 4 Ac erioed [c] ni chlywsant, ni dderbyn-
Hab. 3. 3. iasant â chlustiau, ac ni welodd llygad,
[c] Psal. 31. 19. † Oh DDUW, ond tydi, *yr hyn* a ddarparodd
1 Cor. 2. 9. efe i'r neb a ddisgwyl wrtho.
† Neu, *Dduw, ond tydi.* 5 Cyfarfyddi â'r hwn sy lawen, ac a wna
gyfiawnder; [d] *y rhai* yn dy ffyrdd a'th gof-
[d] Pen. 26. 8. iant di: wele, ti a ddigiaist, pan bechasom:
ynddynt hwy y mae para, a ni a fyddwn
cadwedig.
6 Eithr yr ydym ni oll megis *peth* aflan,
ac megis bratiau budron *yw* ein holl gyf-
[e] Psal. 90. 5, 6. iawnderau; a [e] megis deilen y syrthiasom
ni oll; a'n hanwireddau, megis gwŷnt, a'n
dug ni ymaith.
[f] Hos. 7. 7. 7 Ac [f] nid *oes* a alwo ar dy enw, nac a
ymgyfyd i ymaflyd ynot: canys cuddiaist
‡ Heb. *toddaist.* dy wyneb oddi wrthym; ‡ difeaist ni, o he-
rwydd ein hanwireddau.
8 Ond yn awr, O ARGLWYDD, ein Tad ni
[g] Pen. 29. 16. a 45. 9. *ydwyt* ti: [g] nyni *ydym* glai, a thithau *yw* ein
lluniwr ni; ïe, gwaith dy law *ydym* ni oll.
Jer. 18. 6. Rhuf. 9. 20, 21. 9 ¶ [h] Na ddigia, ARGLWYDD, yn
ddirfawr, ac na chofia anwiredd yn dragy-
[h] Psal. 79. 8. wydd: wele, edrych, attolwg, dy bobl di
*ydym* ni oll.
10 Dy sanctaidd ddinasoedd sydd anial-
wch; Sïon *sydd* yn ddiffaethwch, a Jerusa-
lem yn anghyfannedd.
11 Tŷ ein sancteiddrwydd a'n harddwch
ni, lle y moliannai ein tadau dydi, a losgwyd
â thân; a'n holl bethau dymunol sydd yn
anrhaith.
12 A ymatteli di, ARGLWYDD, wrth *y*
*pethau* hyn? a dewi di, ac a gystuddi di ni
yn ddirfawr?

## PEN. LXV.

Rhagf. 31. B. Sul 6 ar ol yr Ystwyll, B. 1 *Galwedigaeth y Cenhedloedd. 2 Gwrthod*
*yr Iuddewon, am eu hanghrediniaeth, a'u*
*delw-addoliaeth, a'u rhagrith. 8 Gweddill*
*a achubir. 11 Barnedigaethau ar yr enwir,*
*a bendithion ar y duwiol. 17 Dedwydd*
*gyflwr Jerusalem newydd.*

Cylch 698. [a] CEISIWYD fi gan *y rhai* ni ymofynas-
ant *am danaf;* cafwyd fi gan *y rhai*
[a] Rhuf. 9. 24, 25, 26. a 10. 20. ni'm ceisiasant: dywedais, Wele fi, wele fi,
wrth genhedlaeth ni alwyd ar fy enw i.
Eph. 2. 12, 13. 2 Estynais fy llaw ar hŷd y dydd at bobl
wrthryfelgar, y rhai a rodient y ffordd nid
*oedd* dda, yn ol eu meddyliau eu hun;

3 Pobl y rhai a'm llidient i yn wastad yn
fy wyneb; [b] yn aberthu mewn gerddi, ac yn [b] Pen. 1. 29. a 66. 17.
arogl-darthu † ar allorau pridd-feini;
4 Y rhai a arhòent ym mysg y beddau, † Heb. *ar briddfeini.*
ac a lettyent yn y mynwentau; [c] y rhai a
fwyttâent gig môch, ‡ ac isgell ffiaidd *be-* [c] Pen. 66. 17.
*thau yn* eu llestri;
5 Y rhai a ddywedent, Saf ar dy ben dy ‡ Neu, *a dryllïau.*
hun; na nesâ attaf fi: canys sancteiddiach
ydwyf nâ thydi. Y rhai hyn *sydd* fŵg yn
§ fy ffroenau, tân yn llosgi ar hŷd y dydd. § Neu, *fy nigofaint.*
6 Wele, [d] ysgrifenwyd ger fy mron: ni
thawaf; eithr talaf, ïe talaf [e] i'w mynwes,
7 Eich anwireddau chwi, ac [f] anwir- [d] Deut. 32. 34.
eddau eich tadau ynghŷd (medd yr AR- Mal. 3. 16.
GLWYDD) y rhai a arogl-darthasant ar y [e] Psal. 79. 12.
mynyddoedd, ac a'm cablasant ar y bryn-
iau: am hynny y mesuraf eu hen weithred- [f] Exod. 20. 5.
oedd hwynt i'w mynwes.
8 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD;
Megis y ceir gwin newydd mewn swp o
rawn, ac y dywedir, Na ddifwyna ef; canys
*y mae* [g] bendith ynddo: felly y gwnaf er [g] Joel 2. 14.
mwyn fy ngweision, na ddistrywiwyf hwynt
oll.
9 Eithr dygaf had allan o Jacob, ac o
Judah *un* a etifeddo fy mynyddoedd: a'm
hetholedigion a'i hetifeddant, a'm gweision
a drigant yno.
10 Saron hefyd fydd yn gorlan defaid, a
[h] glynn Achor yn orweddfa gwartheg, i'm [h] Hos. 2. 15.
pobl y rhai a'm ceisiasant.
11 ¶ Ond chwi *yw* y rhai a wrthodwch
yr ARGLWYDD, a anghofiwch fy mynydd
sanctaidd, a arlwywch fwrdd i'r ‖ llu ‖ Neu, *gâd.*
accw, ac a lenwch ddïod-offrwm i'r † ni- † Neu, *menni.*
feiri accw.
12 Rhifaf chwithau i'r cleddyf, a chwi
oll a ymostyngwch i'r lladdedigaeth: [i] o [i] Diar. 1. 24, &c.
herwydd pan elwais chwi, nid attebasoch; Pen. 66. 4.
pan leferais, ni wrandawsoch; ond gwnaeth- Jer. 7. 13.
och ddrygioni yn fy ngolwg, a dewisasoch
yr hyn nid oedd dda gennyf.
13 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD DDUW; Wele, fy ngweision a
fwyttânt, a chwithau a newynwch: wele, fy
ngweision a yfant, a chwithau a sychedwch:
wele, fy ngweision a lawenychant, a chwi-
thau a fydd cywilydd arnoch:
14 Wele, fy ngweision a ganant o hy-
frydwch calon, a chwithau a waeddwch rhag
gofid calon, ac a udwch rhag ‡ cystudd ‡ Heb. *drylliad.*
yspryd.
15 A'ch enw a adêwch yn felldith gan fy
etholedigion: canys yr ARGLWYDD DDUW
a'th ladd di, ac [k] a eilw ei weision *ar* enw [k] Pen. 62. 2.
arall:
16 Fel y bo i'r hwn a ymfendigo ar y
ddaear, ymfendigo yn NUW 'r gwirionedd;
ac [l] i'r hwn a dyngo ar y ddaear, dyngu i [l] Deut. 6. 13.
DDUW 'r gwirionedd: am anghofio 'r trallod- Psal. 63. 11.
au gynt, ac am eu cuddio hwynt o'm golwg. Pen. 19. 18.
17 ¶ Canys wele fi yn crëu [m] nefoedd a 45. 23.
newydd, a daear newydd: a'r rhai cyntaf Seph. 1. 5.
ni chofir, ac ni § feddylir am danynt. [m] Pen. 66. 22.
18 Eithr llawenychwch a gorfoleddwch 2 Petr 3. 13.
yn dragywydd *yn y pethau* a grewyf fi: ca- Dat. 21. 1.
nys wele fi yn crëu Jerusalem yn orfoledd, § Heb. *ddaw i fynu ar y galon.*
a'i phobl yn llawenydd.
19 [n] Gorfoleddaf hefyd yn Jerusalem, a
llawenychaf yn fy mhobl: ac ni chlywir
ynddi mwyach [o] lais wylofain, na llef [n] Pen. 62. 5.
gwaedd.
20 Ni bydd o hynny allan blentyn o oed, [o] Pen. 35. 10. a 51. 11.
na henafgwr, yr hwn ni chyflawnodd ei Dat. 7. 17. a 21. 4.
ddyddiau: canys y bachgen fydd marw yn

fab canmlwydd; ond y pechadur yn fab
canmlwydd a felldithir.
21 A [p] hwy a adeiladant dai, ac a'u cyfan-
neddant; plannant hefyd winllannoedd, a
bwyttânt eu ffrwyth.
22 Nid adeiladant hwy, fel y cyfanneddo
arall; ac ni phlannant, fel y bwytteo arall:
eithr [q] megis dyddiau pren *y bydd* dyddiau
fy mhobl, a'm hetholedigion a † hir-fwyn-
hânt waith eu dwylaw.
23 Ni lafuriant yn ofer, ac ni [r] chenhedl-
ant i drallod: canys had rhai bendigedig yr
ARGLWYDD *ydynt* hwy, a'u heppil gyd â
hwynt.
24 A bydd [s] cyn galw o honynt, i mi at-
teb; ac a hwy etto yn llefaru, mi a wran-
dawaf.
25 [t] Y blaidd a'r oen a borant ynghŷd;
y llew fel ŷch a bawr wellt; a'r sarph,
[u] llwch *fydd* ei bwyd hi: ni ddrygant ac
ni ddistrywiant yn fy holl fynydd sanctaidd,
medd yr ARGLWYDD.

[p] Amos 9. 14. Edrych Lef. 26. 16. Deut. 28. 30.
[q] Psal. 92. 12.
† Neu, *dreuliant.*
[r] Deut 28. 41. Hos. 9. 12.
[s] Psal. 32. 5.
[t] Pen. 11. 6, 7, 9.
[u] Gen. 3. 14.

## PEN. LXVI.

Rhagf. 31. P. Sul 6 ar ol yr Ystwyll, P

1 *Y mae y gogoneddus Dduw ei wasanaethu mewn gostyngedig burdeb: 5 y mae yn cysuro'r gostyngedig â rhyfeddol genhedliad, 10 a grasusol ddoniau'r eglwys. 15 Tost farnedigaethau Duw yn erbyn yr annuwiol. 19 Y bydd i'r cenhedloedd eglwys sanctaidd, 24 ac y cânt weled damnedigaeth yr annuwiol.*

Cylch 698.

FEL hyn y dywed yr ARGLWYDD; [a] Y
nef *yw* fy ngorseddfaingc, a'r ddaear
*yw* † lleithig fy nhraed: mae'r tŷ a adeil-
edwch i mi? ac mae'r fan y gorphwysaf?
2 Canys *y pethau* hyn oll a wnaeth fy
llaw, a *thrwof fi* y mae hyn oll, medd yr
ARGLWYDD: ond ar hwn yr edrychaf, [b] *sef*
ar y truan a'r cystuddiedig o yspryd, ac
[c] sydd yn crynu wrth fy ngair.
3 [d] Yr hwn a laddo ŷch, *sydd fel* yr hwn
a laddo wr; yr hwn a aberthо ‡ oen, *sydd*
*fel* yr hwn [e] a dorfynyglo gi: yr hwn a
offrymmo offrwm, *sydd fel pe'd offrymmai*
waed môch: yr hwn a arogl-darthо thus,
*sydd fel pe* bendigai eilun: ïe, hwy a ddewis-
asant eu ffyrdd eu hun, a'u henaid a ym-
hyfrydodd yn eu ffieidd-dra.
4 Minnau a ddewisaf eu § dychymmyg-
ion hwynt, ac a ddygaf arnynt yr hyn a
ofnant: [f] am alw o honof, ac nid *oedd* a
attebai; lleferais, ac ni wrandawsant: eithr
gwnaethant yr hyn oedd ddrwg yn fy ngo-
lwg, a'r hyn nid oedd dda gennyf a dde-
wisasant.
5 ¶ Gwrandêwch air yr ARGLWYDD,
[g] y rhai a grynwch wrth ei air ef; Eich
brodyr y rhai a'ch casasant, *ac* a'ch gyrras-
ant ar encil er mwyn fy enw i, a ddywed-
asant, [h] Gogonedder yr ARGLWYDD: etto
i'ch llawenydd chwi y gwelir ef, a hwynt a
waradwyddir.
6 Llef soniarus o'r ddinas, llef o'r deml,
llef yr ARGLWYDD yn talu'r pwyth i'w
elynion.
7 Cyn ei chlafychu, yr esgorodd; cyn dy-
fod gwewyr arni, y rhyddhawyd hi ar fab.
8 Pwy a glybu'r fath beth a hyn? pwy a
welodd y fath bethau a hyn? A wneir i'r
ddaear dyfu mewn un dydd? a enir cenedl
*ar* unwaith? Pan glafychodd Sïon, yr es-
gorodd hefyd ar ei meibion.
9 A ddygaf fi i'r enedigaeth, ac oni

[a] 1 Bren. 8. 27. 2 Chron. 6. 18. Mat. 5. 34, 35. Act. 7. 48, 49. a 17. 24.
† Neu, *fy nhroedfaingc.*
[b] Psal. 34. 18. a 51. 17. Pen. 57. 15. a 61. 1.
[c] Ezra 9. 4. a 10. 3. Diar. 28. 14. Adn. 5.
[d] Pen. 1. 11.
‡ Neu, *fynn.*
[e] Deut. 23. 18.
§ Neu, *siommedigaethau.*
[f] Diar. 1. 24. Pen. 65. 12. Jer. 7. 13.
[g] Adn. 2.
[h] Pen. 5. 19.

pharaf esgor? medd yr ARGLWYDD:
a baraf fi esgor, ac a luddiaf? medd dy
DDUW.
10 Llawenhêwch gyd â Jerusalem, a bydd-
wch hyfryd gyd â hi, y rhai oll a'i cerwch
hi: llawenhêwch gyd â hi yn llawen, y rhai
oll a alerwch o'i phlegid hi:
11 Fel y sugnoch, ac y'ch diwaller â bron-
nau ei diddanwch hi; fel y godroch, ac y
byddoch hyfryd gan ‖ helaethrwydd ei go-
goniant hi.
12 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD;
Wele, [i] mi a estynaf iddi heddwch fel afon,
a gogoniant y cenhedloedd fel ffrwd lifeir-
iol: yna [k] y sugnwch, [l] ar ei hystlys *hi* y'ch
dygir, ac ar ei gliniau y'ch diddenir.
13 Fel un yr hwn y diddana ei fam ef,
felly y diddanaf fi chwi; ac yn Jerusalem
y'ch diddenir.
14 A phan weloch *hyn*, y llawenycha
eich calon; [m] eich esgyrn hefyd a flodeuant
fel llysieuyn: ac fe adweinir llaw'r AR-
GLWYDD tu ag at ei weision, a'i lidiowg-
rwydd wrth ei elynion.
15 Canys wele'r ARGLWYDD a ddaw â
thân, ac â'u gerbydau fel tro-wynt, i dalu
ei ddigter â llidiowgrwydd, a'i gerydd â
fflammau tân.
16 Canys yr ARGLWYDD a ymddadleu â
thân ac â'i gleddyf yn erbyn pob cnawd;
a lladdedigion yr ARGLWYDD fyddant
aml.
17 [n] Y rhai a ymsancteiddiant, ac a ym-
lanhânt yn y gerddi, † yn ol eu gilydd, yn
y canol, gan fwytta cig môch, a ffieidd-dra,
a llygod, a gyd-ddiweddir, medd yr AR-
GLWYDD.
18 Canys mi *a adwaen* eu gweithredoedd
hwynt a'u meddyliau: y mae'r *amser* yn
dyfod, i gasglu'r holl genhedloedd a'r ieith-
oedd: a hwy a ddeuant, ac a welant fy
ngogoniant.
19 A gosodaf yn eu mysg arwydd, ac
anfonaf y rhai diangol o honynt at y cen-
hedloedd, i Tarsis, ‡ Affrica, a Lydia, y
rhai a dynnant mewn bwa, § i Italia, a
Groëg, i'r ynysoedd pell, y rhai ni chlyw-
sant son am danaf, ac ni welsant fy ngogo-
niant; a mynegant fy ngogoniant ym mysg
y cenhedloedd.
20 A hwy a ddygant eich holl frodyr o
blith yr holl genhedloedd, [o] yn offrwm i'r
ARGLWYDD, ar feirch, ac ar gerbydau, ac
ar eloriau meirch, ac ar fulod, ac ar ani-
feiliaid buain, i'm mynydd sanctaidd Jeru-
salem, medd yr ARGLWYDD, megis y dwg
meibion Israel offrwm mewn llestr glân i
dŷ'r ARGLWYDD.
21 Ac o honynt hwy y cymmeraf rai
[p] yn offeiriaid ac yn Lefiaid, medd yr AR-
GLWYDD.
22 Canys megis y saif ger fy mron [q] y
nefoedd newydd a'r ddaear newydd, y rhai
a wnaf fi, medd yr ARGLWYDD, felly y saif
eich had chwi, a'ch enw chwi.
23 [r] Bydd hefyd o newydd loer ‖ i ne-
wydd-loer, ac o Sabbath † i Sabboth, [s] i bob
cnawd ddyfod i addoli ger fy mron i, medd
yr ARGLWYDD.
24 A hwy a ant allan, ac a edrychant ar
gelanedd y rhai a wnaethant gamwedd i'm
herbyn: canys eu [t] pryf ni bydd marw, a'u
tân ni ddiffydd, a byddant yn ffieidd-dra
gan bob cnawd.

‖ Neu, *ddisgleirdeb.*
[i] Pen. 48. 18. a 60. 5.
[k] Pen. 60. 16.
[l] Pen. 49. 22. a 60. 4.
[m] Edrych Ezec. 37. 1, &c.
[n] Pen. 65. 3, 4.
† Heb. *o'r tu ol i un pren.*
‡ *Pul, a Lud.*
§ *Tubal, a Jafan.*
[o] Rhuf. 15. 16.
[p] Exod. 19. 6. Pen. 61. 6. 1 Petr 2. 9. Dat. 1. 6.
[q] Pen. 65. 17. 2 Petr 3. 13. Dat. 21. 1.
[r] Zech. 14. 16.
‖ Heb. *i'w newydd-loer.*
† Heb. *i'w Sabboth.*
[s] Psal. 65. 2.
[t] Marc 9. 44, 46, 48.

# ¶ LLYFR Y PROPHWYD JEREMI.

## PEN. I.

1 *Amser 3 a galwad Jeremi. 11 Ei bro-
phwydol weledigaeth ef am y wïalen almon,
a'r crochan berwedig. 15 Ei drom gen-
nadwri ef yn erbyn Judah. 17 Duw yn ei
gysuro ef, trwy addaw iddo ei gymmorth.*

GEIRIAU Jeremi fab Hilcïah, o'r off-
eiriaid y rhai *oedd* yn [a] Anathoth, o
fewn tir Benjamin :
2 Yr hwn y daeth gair yr ARGLWYDD
atto, yn nyddiau Josïah fab Amon brenhin
Judah, yn y drydedd flwyddyn ar ddeg o'i
deyrnasiad ef.
3 Ac fe ddaeth yn nyddiau Jehoiacim fab
Josïah brenhin Judah, nes darfod un mly-
nedd ar ddeg i Sedecïah fab Josïah brenhin
Judah, hyd ddygiad Jerusalem i gaethiwed
[b] yn y pummed mis.
4 Yna y daeth gair yr ARGLWYDD attaf,
gan ddywedyd,
5 Cyn i mi [c] dy lunio di yn y groth, [d] mi
a'th adnabûm ; a chyn dy ddyfod o'r groth,
[e] y sancteiddiais di ; *a* mi a'th roddais yn
brophwyd i'r cenhedloedd.
6 Yna y dywedais, [f] O Arglwydd DDUW,
wele, ni fedraf ymadrodd ; canys bachgen
*ydwyf* fi.
7 ¶ Ond yr ARGLWYDD a ddywedodd
wrthyf, Na ddywed, Bachgen *ydwyf* : canys
ti a ai at y rhai oll y'th anfonwyf, a'r hyn
oll a orchymynwyf it' a ddywedi.
8 [g] Nac ofna rhag eu hwynebau hwynt :
canys [h] *yr ydwyf* fi gyd â thi i'th waredu,
medd yr ARGLWYDD.
9 Yna'r estynodd yr ARGLWYDD ei law,
ac [i] a gyffyrddodd â'm genau. A'r AR-
GLWYDD a ddywedodd wrthyf, Wele,
[k] rhoddais fy ngeiriau yn dy enau di.
10 Gwel, heddyw y'th osodais ar y cen-
hedloedd, ac ar y teyrnasoedd, [l] i ddiwreidd-
io, ac i dynnu i lawr, i ddifetha, ac i ddi-
strywio, i adeiladu, ac i blannu.
11 ¶ Yna y daeth gair yr ARGLWYDD
attaf, gan ddywedyd, Jeremi, beth a weli
di? Minnau a ddywedais, Gwïalen almon a
welaf fi.
12 A dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf,
Da y gwelaist ; canys mi a brysuraf fy ngair
i'w gyflawni.
13 A gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf
yr ail waith, gan ddywedyd, Beth a weli
di ? A mi a ddywedais, Mi a welaf [m] gro-
chan berwedig, a'i wyneb † tu a'r gogledd.
14 Yna y dywedodd yr ARGLWYDD
wrthyf, O'r [n] gogledd ‡ y tyrr drwg allan ar
holl drigolion y tir.
15 Canys wele, myfi [o] a alwaf holl deulu-
oedd teyrnasoedd y gogledd, medd yr AR-
GLWYDD, a hwy a ddeuant, ac a osodant
bob *un* ei orsedd-faingc wrth ddrws porth
Jerusalem, ac yn erbyn ei muriau oll o am-
gylch, ac yn erbyn holl ddinasoedd Judah.
16 A mi a draethaf fy marnedigaethau yn
eu herbyn, am holl anwiredd y rhai a'm
gadawsant, ac a arogl-darthasant i dduwiau
eraill, ac a addolasant weithredoedd eu dwy-
law eu hunain.
17 ¶ Am hynny [p] gwregysa dy lwynau,
a chyfod, a dywed wrthynt yr hyn oll yr
ydwyf yn ei orchymyn it' : na arswyda eu
hwynebau, rhag i mi dy § ddistrywio di ger
eu bron hwynt.
18 Canys wele, heddyw yr ydwyf yn dy

Gorph. 17. B
Cyn Crist cylch 629.
[a] Jos. 21. 18. 1 Chron. 6. 60.
[b] 2 Bren. 25. 8. Pen. 52. 12.
[c] Esay 49. 1, 5.
[d] Exod. 33. 12, 17.
[e] Luc 1. 15, 41.
[f] Exod. 4. 10. a 6. 12. Gal. 1. 15, 16.
[g] Ezec. 3. 9.
[h] Exod. 3. 12. a 24. 3. Deut. 31. 6, 8. Jos. 1. 5. Heb. 13. 6.
[i] Esay 6. 7.
[k] Pen. 5. 14.
[l] Pen. 18. 7. 2 Cor. 10. 4, 5.
[m] Ezec. 11. 3, 7. a 24. 3.
† Heb. *oddi wrth wyneb y gogledd.*
[n] Pen. 4. 6. a 6. 1.
‡ Heb. *yr agorir drwg.*
[o] Pen. 5. 15. a 6. 22. a 10. 22.
[p] 1 Bren. 18. 46. 2 Bren. 4. 29. a 9. 1.
§ Neu, *ddryllio.*

roddi di [q] yn ddinas gaerog, ac yn golofn
haiarn, ac yn fur pres, yn erbyn yr holl dir,
yn erbyn brenhinoedd Judah, yn erbyn ei
thywysogion, yn erbyn ei hoffeiriaid, ac yn
erbyn pobl y tir.
19 Ymladdant hefyd yn dy erbyn, ond
ni'th orchfygant : canys myfi *sydd* gyd â thi
i'th ymwared, medd yr ARGLWYDD.

## PEN. II.

1 *Duw, wedi dangos ei garedigrwydd o'r
blaen, yn ymliw â'r Iuddewon am droi oddi
wrtho mor ddïachos, 9 y tu hwnt i bawb
eraill. 14 Mai hwynt-hwy eu hunain yw'r
achos o'u hafiwydd. 20 Pechodau Judah.
31 Gwrthod ei hyder ef.*

A Gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf fi,
gan ddywedyd,
2 Cerdda, a llefa ynghlustiau Jerusalem,
gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD, Cofiais † di, caredigrwydd dy
[a] ieuengetid, a serch dy ddyweddi, pan y'm
canlynaist yn y diffaethwch, mewn tir ni-
hauwyd.
3 [b] Israel *ydoedd* sancteiddrwydd i'r AR-
GLWYDD, *a* [c] blaen-ffrwyth ei gnwd ef :
[d] pawb oll a'r a'i bwyttao, a bechant ; drwg
a ddigwydd iddynt, medd yr ARGLWYDD.
4 Gwrandewch air yr ARGLWYDD, tŷ Ja-
cob, a holl deuluoedd tŷ Israel.
5 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, [e] Pa
anwiredd a gafodd eich tadau chwi ynof fi,
gan iddynt ymbellhâu oddi wrthyf, a rhodio
ar ol oferedd, a myned yn ofer?
6 Ac ni ddywedant, [f] Pa le *y mae*'r AR-
GLWYDD a'n dug ni i fynu o dir yr Aipht ;
a'n harweiniodd trwy'r [g] anialwch ; trwy
dir diffaeth, a phyllau ; trwy dir sychder, a
chysgod angau ; trwy dir nid aeth gwr trwy-
ddo, ac ni thrigodd dyn ynddo?
7 Dygais chwi hefyd i wlad gnydfawr, i
fwytta ei ffrwyth a'i daioni : eithr pan ddae-
thoch i mewn, [h] halogasoch fy nhir i, a
gwnaethoch fy etifeddiaeth i yn ffieidd-
dra.
8 Yr offeiriaid ni ddywedasant, Pa le *y
mae*'r ARGLWYDD? [i] a'r rhai sy'n trin y gy-
fraith nid adnabuant fi : y bugeiliaid hefyd
a droseddasant i'm herbyn, a'r prophwydi a
brophwydasant yn *enw* Baal, ac a aethant ar
ol *y pethau* ni wnaent lesâd.
9 ¶ Oblegid hyn, mi a ddadleuaf â chwi
etto, medd yr ARGLWYDD ; ie [k] dadleuaf
â meibion eich meibion chwi.
10 Canys ewch ‡ dros ynysoedd Chittim,
ac edrychwch ; a danfonwch i Cedar, ac
ystyriwch yn ddiwyd, ac edrychwch a fu'r
cyfryw beth.
11 [l] A newidiodd *un* genedl *eu* duwiau,
a hwy [m] heb *fod* yn dduwiau? eithr fy
mhobl i [n] a newidiodd eu gogoniant am *yr
hyn* ni wna lesâd.
12 O chwi nefoedd, [o] synnwch wrth hyn,
ac ofnwch yn aruthrol, a byddwch anghyf-
annedd iawn, medd yr ARGLWYDD.
13 Canys dau ddrwg a wnaeth fy mhobl ;
hwy a'm gadawsant i, [p] ffynnon y dyfroedd
byw, *ac* a gloddiasant iddynt eu hunain by-
dewau, *ie*, bydewau wedi eu torri, ni ddali-
ant ddwfr.
14 ¶ Ai gwas *ydyw* Israel? ai *gwas* a anwyd
yn tŷ *yw* efe? pa ham § yr yspeiliwyd ef?
15 Y llewod ieuaingc a ruasant arno, *ac* a

[q] Esay 50. 7. Pen. 6. 27. a 15. 20.
Gorph. 17. P.
Cylch 629.
† Neu, *er dy fwyn, gared.*
[a] Ezec. 16. 8, 22. a 23. 3, 8, 19.
[b] Exod. 19. 5, 6.
[c] Iago 1. 18. Dat. 14. 4.
[d] Pen. 12. 14. Edrych Pen. 50. 7.
[e] Esay 5. 4. Mich. 6. 3.
[f] Esay 63. 9, 11, 13. Hos. 13. 4.
[g] Deut. 8. 15. a 32. 10.
[h] Psal. 78. 58. a 106. 38.
[i] Mal. 2. 6, 7. Rhuf. 2. 20.
[k] Exod. 20. 5. Lef. 20. 5.
‡ Neu, *drosodd i.*
[l] Mich. 4. 5.
[m] Pen. 16. 20.
[n] Psal. 106. 20. Rhuf. 1. 23.
[o] Esay 1. 2. Pen. 6. 19.
[p] Psal. 36. 9. Pen. 17. 13. a 18. 14.
§ Heb. *yr aeth yn yspail?*

† Heb. *rowant eu llef.* † leisiasant; a'i dir ef a osodasant yn an-
rhaith, a'i ddinasoedd a losgwyd heb dri-
giannydd.
16 Meibion Noph hefyd a Thahapanes a
‡ Neu, *ymborthant ar.* ‡ dorrasant dy goryn di.
Deut. 33. 12. 17 ᵠ Onid tydi a beraist hyn it' dy hun, am
Esay 8. 8. wrthod o honot yr ARGLWYDD dy DDUW,
pan ydoedd efe yn dy arwain ar hŷd y
ffordd?
ᵠ Pen. 4. 18. 18 A'r awr hon, beth *sydd* i ti *a wnelych*
§ *Sihor.* yn ffordd yr Aipht, i yfed dwfr § Nilus?
a pheth *sydd* i ti yn ffordd Assyria, i yfed
dwfr yr afon?
ʳ Esay 3. 9. 19 ʳ Dy ddrygioni dy hun a'th gospa di,
Hos. 5. 5. a'th wrthdro a'th gerydda: gwybydd dithau
a gwel, mai drwg a chwerw *ydyw* gwrthod o
honot yr ARGLWYDD dy DDUW, ac nad
*ydyw* fy ofn i ynot ti, medd Arglwydd
DDUW 'r lluoedd.
20 ¶ Oblegid er ys talm mi a dorrais dy
iau di, *ac* a ddrylliais dy rwymau; a thi a
‖ Neu, *wasanaethaf.* ddywedaist, Ni ‖ throseddaf; ˢ er hynny ti
a wibiaist, gan butteinio ar bob bryn uchel,
a than bob pren deiliog.
ˢ Esay 57. 5, 7. 21 Etto myfi ᵗ a'th blannaswn yn ber-win-
Pen. 3. 6. wŷdden, o'r iawn had oll: pa fodd gan
ᵗ Exod. 15. 17. hynny y'th drowyd im' ᵘ yn blanhigyn afry-
Psal. 44. 2. wiog gwinwŷdden ddïeithr?
a 80. 8. 22 Canys pe byddai it' ˣ ymolchi â nitr, a
Esay 5. 1, &c. chymmeryd it' lawer o sebon; *etto* ʸ nod-
Mat. 21. 33. wyd dy anwiredd ger fy mron i, medd yr
Marc 12. 1. Arglwydd DDUW.
Luc 20. 9. 23 Pa fodd y dywedi, Ni halogwyd fi,
ᵘ Deut. 32. 32. ac nid euthum ar ol Baalim? Edrych dy
ffordd yn y glynn, gwybydd beth a wnaeth-
ˣ Job 9. 30. ost; † camel buan *ydwyt* yn amgylchu ei
ffyrdd.
ʸ Deut. 32. 34. 24 ᶻ ‡ Asen wŷllt wedi ei § chynnefino
Job 14. 17. â'r anialwch, wrth ddymuniad ei chalon yn
Hos. 13. 12. yfed gwŷnt, wrth ei hachlysur pwy a'i trŷ
† Neu, *O gamel* ymaith? pawb a'r a'i ceisiant hi, nid ymfli-
*buan, yr* nant; yn ei mis y cânt hi.
*ydwyt*, &c. 25 Cadw dy droed rhag ‖ noethni, a'th
ᶻ Job 39. 5, &c. geg rhag syched. ᵃ Tithau a ddywedaist,
Pen. 14. 6. † Nid oes obaith Nac *oes*: canys cerais
ddïeithriaid, ac ar eu hol hwynt yr af fi.
‡ Neu, *O asen.* 26 Megis y cywilyddia lleidr pan ‡ ddalier
§ Heb. *dysgu.* ef, felly y cywilyddia tŷ Israel; hwynt-
hwy, eu brenhinoedd, eu tywysogion, a'u
‖ *bod yn* hoffeiriaid, a'u prophwydi;
*ddiarchen.* 27 Y rhai a ddywedant wrth bren, Tydi
ᵃ Jer. 18. 12. *yw* fy nhad; ac wrth garreg, Ti a'm cenhed-
laist. Canys hwy a droisant attaf fi wegil,
† Neu, *Ai diobaith* ac nid wyneb: ond yn amser eu ᵇ hadfyd y
*yw?* dywedant, Cyfod, a chadw ni.
‡ Heb. 28 Eithr ᶜ pa le *y mae* dy dduwiau, y
*gaffer.* rhai a wnaethost i ti? codant, os ᵈ gallant
ᵇ Esay 26. 16. dy gadw yn amser dy § adfyd: canys ᵉ *wrth*
rifedi dy ddinasoedd y mae dy dduwiau di,
ᶜ Deut. 32. 37. O Judah.
Barn. 10. 14. 29 Pa ham yr ymddadleuwch â mi?
chwi oll a droseddasoch i'm herbyn, medd
ᵈ Esay 45. 20. yr ARGLWYDD.
30 Yn ofer y ᶠ tarewais eich plant chwi,
§ Heb. *udrwg.* ni dderbyniasant gerydd: eich cleddyf eich
ᵉ Pen. 11. 13. hun ᵍ a ddifaodd eich prophwydi, megis llew
yn distrywio.
ᶠ Esay 1. 5. 31 ¶ Oh genhedlaeth, gwelwch air yr
a 9. 13. ARGLWYDD: ʰ A fum i yn anialwch i
Pen. 5. 3. Israel? yn dir tywyllwch? pa ham y dywed
ᵍ Mat. 23. 29, &c. fy mhobl, ‖ Arglwyddi ydym ni, ni ddeuwn
ni mwy attat ti?
ʰ Adn. 5. 32 A anghofia morwyn ei hardd-wisg?
‖ Heb. *Ar-* *neu* y briodas-ferch ei thlysau? etto fy
*glwyddi-* mhobl i a'm hanghofiasant ddyddiau an-
*aethu yr ydym.* eirif.

33 Pa ham yr wyt ti yn cyweirio dy
ffordd i geisio cariad? am hynny hefyd y
dysgaist dy ffyrdd i rai drygionus.
34 Hefyd yn dy odre di y cafwyd gwaed
eneidiau'r tlodion diniwed; nid wrth † Heb.
† chwilio y cefais hyn, eithr ar y rhai hyn *gloddia.*
oll.
35 Etto ti a ddywedi, Am fy mod yn ddi-
niweid, yn ddiau y trŷ ei lid ef oddi wrth-
yf. Wele, dadleuaf â thi, am ddywedyd o
honot, Ni phechais.
36 ⁱ Pa ham y gwibi di cymmaint i ne- ⁱ Pen. 31. 22.
widio dy ffordd? canys ᵏ ti a waradwyddir
o herwydd yr Aipht, fel ˡ y'th waradwy- ᵏ Esay 30. 3.
ddwyd o herwydd Assyria.
37 Hefyd ti a ddeui allan oddi wrtho, ˡ 2 Chron. 28. 20.
ᵐ a'th ddwylaw ar dy ben: oblegid yr ᵐ 2 Sam.
ARGLWYDD a wrthododd dy hyder di, ac 13. 19.
ni lwyddi ynddynt.

## PEN. III.

1 *Mawr drugaredd Duw yn ysgeler butteindra* Gorph. 18. B.
*Judah.* 6 *Mai gwaeth yw Judah nag Is-*
*rael.* 12 *Addewidion yr efengyl i'r edifei-*
*riol.* 20 *Duw yn argyoeddi ac yn galw*
*Israel, a hwythau yn gwneuthur cyffes gy-*
*hoedd o'u pechodau.*

† HWY a ddywedant, O gyrr gwr ei Cylch
wraig ymaith, a myned o honi oddi 629.
wrtho ef, ac iddi fod yn eiddo gwr arall, † Heb.
ᵃ a ddychwel efe atti hi mwyach? oni lwyr- *Gan ddy-*
halogir y tir hwnnw? ond ti a butteiniaist *wedyd.*
*gyd â* chyfeillion lawer; etto dychwel attaf ᵃ Deut. 24. 4.
fi, medd yr ARGLWYDD.
2 Dyrchafa dy lygaid i'r lleoedd uchel,
ac edrych pa le ni phutteiniaist. ᵇ Ti a ᵇ Gen. 38.
eisteddaist ar y ffyrdd iddynt hwy, megis 14.
Arabiad yn yr anialwch; ac a halogaist y Ezec. 16.
tir â'th butteindra, ac â'th ddrygioni. 24, 25.
3 Am hynny'r attaliwyd ᶜ y cafodydd, ᶜ Deut. 28.
ac ni bu gwlaw diweddar; a ᵈ thalcen put- 24.
teinwraig oedd i ti; gwrthodaist gywily- Pen. 9. 12.
ddio. ᵈ Pen. 6. 15. a 8. 12.
4 Oni lefi di arnaf fi o hyn allan, Fy nhad, Ezec. 3. 7.
ti *yw* ᵉ tywysog fy ieuengetid? Seph. 3. 5.
5 ᶠ A ddeil efe *ei ddig* byth? a'i ceidw yn ᵉ Diar. 2.
dragywydd? Wele, dywedaist a gwnaeth- 17.
ost yr hyn oedd ddrwg hyd y gellaist.
6 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrthyf Cylch
yn amser Josïah y brenhin, A welaist ti hyn 612.
a wnaeth Israel wrthnysig? Hi ᵍ a aeth i ᶠ Psal. 103.
bob mynydd uchel, a than bob pren deiliog, 9.
ac a butteiniodd yno. Esay 57. 16.
Adn. 12.
7 A mi a ddywedais, wedi iddi wneuthur ᵍ Pen. 2. 20.
hyn i gyd, Dychwel attaf fi. Ond ni ddy-
chwelodd. A Judah ʰ ei chwaer anffyddlon ʰ Ezec. 16.
hi a welodd *hynny.* 46. a 23. 2,
8 A gwelais yn dda, am yr achosion oll y 4.
putteiniodd Israel wrthnysig, ollwng o honof
hi ymaith, ac a roddais iddi ei llythyr ysgar:
er hyn ni ofnodd Judah ei chwaer anffy-
ddlon; eithr aeth a phutteiniodd hithau
hefyd.
9 A chan ‡ ysgafnder ei phutteindra yr ‡ Neu,
halogodd hi'r tir; canys gyd â'r maen a'r *air.*
pren y putteiniodd hi.
10 Ac er hyn oll hefyd, ni ddychwelodd
Judah ei chwaer anffyddlon attaf fi â'i holl
galon, eithr mewn § rhagrith, medd yr AR- § Heb.
GLWYDD. *ffalsder,*
11 A dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf, neu, *cel-*
i Israel wrthnysig a'i cyfiawnhaodd ei hun *wydd.*
rhagor Judah anffyddlon. ⁱ Ezec. 16. 51. a 23. 11.
12 ¶ Cerdda, a chyhoedda'r geiriau hyn
tu a'r gogledd, a dywed, Ti Israel wrth-
nysig, dychwel, medd yr ARGLWYDD,

*ac* ni adawaf i'm llid syrthio arnoch: canys [k] trugarog *ydwyf* fi, medd yr ARGLWYDD, ni ddaliaf *lid* yn dragywydd.

13 Yn unig cydnebydd dy anwiredd, droseddu o honot yn erbyn yr ARGLWYDD dy DDUW, a gwasgaru o honot dy ffyrdd i ddieithriaid dan bob pren deiliog, ac ni wrandawech ar fy llef, medd yr ARGLWYDD.

14 Trowch, chwi blant gwrthnysig, medd yr ARGLWYDD; canys myfi a'ch prïodais chwi: a mi a'ch cymmeraf chwi, un o ddinas, a dau o deulu, ac a'ch dygaf chwi i Sïon.

15 Ac a roddaf i chwi [l] fugeiliaid wrth *fodd* fy nghalon, y rhai a'ch porthant chwi â gwybodaeth, ac â deall.

16 Ac wedi darfod iwch' amlhâu a chynnyddu ar y ddaear, yn y dyddiau hynny, medd yr ARGLWYDD, ni ddywedant mwy, Arch cyfammod yr ARGLWYDD; ac † ni's meddwl calon am dani, ac ni chofir hi; nid ymwelant â *hi* chwaith, ac ni wneir *hynny* mwy.

17 Yn yr amser hwnnw y galwant Jerusalem yn orseddfa'r ARGLWYDD; ac y casglir atti yr holl genhedloedd, [m] at enw'r ARGLWYDD, i Jerusalem: ac ni [n] rodiant mwy yn ol cildynrwydd eu calon ddrygionus.

18 Yn y dyddiau hynny [o] y rhodia tŷ Judah ‡ gyd â thŷ Israel, a hwy a ddeuant ynghŷd, o dir y gogledd, i'r tir a roddais i yn etifeddiaeth i'ch tadau chwi.

19 Ond mi a ddywedais, Pa fodd y'th osodaf ym mhlith y plant, ac y rhoddaf i ti [p] dir dymunol, *sef* etifeddiaeth § ardderchog lluoedd y cenhedloedd? ac a ddywedais, Ti a elwi arnaf fi, Fy nhad, ac ni throi ymaith oddi ar fy ol i.

20 ¶ Yn ddïau *fel* yr anffyddlona gwraig oddi wrth ei chyfaill; felly, tŷ Israel, [q] y buoch anffyddlon i mi, medd yr ARGLWYDD.

21 Llef a glywyd yn y mannau uchel, wylofain *a* dymuniadau meibion Israel: canys gwyrasant eu ffordd, *ac* anghofiasant yr ARGLWYDD eu Duw.

22 [r] Ymchwelwch, feibion gwrthnysig, *a* mi a iachâf eich gwrthnysigrwydd chwi. Wele ni yn dyfod attat ti; oblegid ti *yw*'r ARGLWYDD ein Duw.

23 [s] Dïau *fod* yn ofer *ymddiried am help* o'r bryniau, *ac* o liaws y mynyddoedd: [t] dïau *fod* iachawdwriaeth Israel yn yr ARGLWYDD ein Duw ni.

24 [u] Canys gwarth a ysodd lafur ein tadau o'n hieuengctid; eu defaid a'u gwartheg, eu meibion a'u merched.

25 Gorwedd yr ydym yn ein cywilydd, a'n gwarth a'n todd ni: canys yn erbyn yr ARGLWYDD ein Duw y pechasom, nyni a'n tadau, o'n hieuengctid hyd y dydd heddyw, ac ni wrandawsom ar lais yr ARGLWYDD ein Duw.

k Psal. 86. 15. a 103. 8, 9. Adn. 5.
l Pen. 23. 4. Ezec. 34. 23. Eph. 4. 11.
† Heb. *ni esgyn ar y galon.*
m Esay 60. 9.
n Pen. 11. 8.
o Edrych Esay 11. 13. Ezec. 37. 16, 22. Hos. 1. 11.
‡ Neu, *at dŷ.*
p Psal. 106. 24. Ezec. 20. 6. Dan. 8. 9. a 11. 16, 41, 45.
§ Heb. *dymuniad.*
q Pen. 5. 11.
r Hos. 14. 1.
s Psal. 121. 1, 2.
t Psal. 3. 8.
u Pen. 11. 13.

## PEN. IV.

1 *Duw yn galw Israel trwy ei addewid;* 3 *yn annog Judah i edifarhâu trwy farnedigaethau ofnadwy.* 19 *Tostur gwynfan am drueni Judah.*

ISRAEL, os dychweli, [a] dychwel attaf fi, medd yr ARGLWYDD: hefyd os rhoi heibio dy ffieidd-dra oddi ger fy mron, yna ni'th symmudir.

2 A [b] thi a dyngi, Byw *yw*'r ARGLWYDD, [c] mewn gwirionedd, mewn barn, ac mewn cyfiawnder: a'r cenhedloedd a ymfendithiant ynddo; ïe ynddo ef [d] yr ymglodforant.

3 ¶ Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD wrth wŷr Judah, ac wrth Jerusalem; [e] Braenerwch i chwi fraenar, ac [f] na heuwch mewn drain.

4 [g] Ymenwaedwch i'r ARGLWYDD, a rhoddwch heibio ddïenwaediad eich calon, chwi wŷr Judah, a thrigolion Jerusalem: rhag i'm digofaint ddyfod allan fel tân, a llosgi fel na *byddo* diffoddydd, o herwydd drygioni eich amcanion.

5 Mynegwch yn Judah, a chyhoeddwch yn Jerusalem, a dywedwch, Utgenwch udgorn yn y tir: gwaeddwch, ymgesglwch, a dywedwch, [h] Ymgynullwch, ac awn i'r dinasoedd caerog.

6 Codwch faner tua Sïon: † ffowch, ac na sefwch; canys [i] mi a ddygaf ddrwg o'r gogledd, a ‡ dinystr mawr.

7 [k] Y llew a ddaeth i fynu o'i loches, a difethwr y Cenhedloedd a gychwynodd, ac a aeth allan o'i drigle, [l] i wneuthur dy dir yn orwag; *a*'th ddinasoedd a ddinystrir heb drigiannydd.

8 Am hyn [m] ymwregyswch â llïain sach; galerwch ac udwch: canys an-gerdd llid yr ARGLWYDD ni throes oddi wrthym ni.

9 Ac yn y dydd hwnnw, medd yr ARGLWYDD, y derfydd am galon y brenhin, ac am galon y pennaethiaid: yr offeiriaid hefyd a synnant, a'r prophwydi a ryfeddant.

10 Yna y dywedais, O ARGLWYDD DDUW, [n] yn sicr gan dwyllo ti a dwyllaist y bobl yma a Jerusalem, gan ddywedyd, Bydd heddwch i chwi; ac etto fe ddaeth y cleddyf hyd at yr enaid.

11 Yn yr amser hwnnw y dywedir wrth y bobl hyn, ac wrth Jerusalem, Gwynt sych yr uchel-leoedd yn y diffaethwch tua merch fy mhobl, nid i nithio, ac nid i buro;

12 Gwynt § llawn o'r *lleoedd* hynny a ddaw attaf fi: weithian hefyd myfi a draethaf farn yn eu herbyn hwy.

13 Wele, megis cymmylau y daw i fynu, [o] a'i gerbydau megis cor-wynt: [p] ei feirch sy ysgafnach na'r eryrod. Gwae nyni; canys ni a anrheithiwyd.

14 O Jerusalem, [q] golch dy galon oddi wrth ddrygioni, fel y byddech gadwedig: pa hŷd y llettyi o'th fewn goeg amcanion?

15 Canys llef sydd yn mynegi [r] allan o Ddan, ac yn cyhoeddi cystudd allan o fynydd Ephraim.

16 Coffêwch i'r cenhedloedd, wele, cyhoeddwch yn erbyn Jerusalem, ddyfod gwylwŷr o wlad bell, a llefaru yn erbyn dinasoedd Judah.

17 Megis ceidwaid maes y maent o amgylch yn ei herbyn; am iddi fy niglloni, medd yr ARGLWYDD.

18 [s] Dy ffordd di a'th amcanion a wnaethant hyn i ti: dyma dy ddrygioni di; am ei fod yn chwerw, am ei fod yn cyrhaeddyd hyd at dy galon di.

19 ¶ Fy [t] mol, fy mol; gofidus wyf o barwydenau fy nghalon: mae fy nghalon yn terfysgu ynof: ni allaf dewi, am it glywed sain yr udgorn, O fy enaid, *a* gwaedd rhyfel.

20 [u] Dinystr ar ddinystr a gyhoeddwyd: canys yr holl dir a anrheithiwyd: yn ddisymmwth y distrywiwyd fy lluestai i, a'm ‖ cortenni yn ddïattreg.

[illegible]ph. 18. F.
Cylch 612.
a Joel 2. 12.
b Esay 65. 16. Edrych Pen. 5. 2.
c Esay 48. 1.
d 2 Cor. 10. 17.
e Hos. 10. 12.
f Mat. 13. 7, 22.
g Deut. 10. 16. a 30. 6. Col. 2. 11.
h Pen. 8. 14.
† Neu, *ymgesglwch,* neu, *ymgryfhêuch.*
i Pen. 1. 13, 14, 15. a 6. 22.
‡ Heb. *torriad.*
k Dan. 7. 4.
l Pen. 2. 15.
m Pen. 6. 26.
n Ezec. 14. 9.
§ Neu, *llawnach na'r lleoedd.*
o Esay 5. 28.
p Hab. 1. 8.
q Esay 1. 16.
r Pen. 8. 16.
s Psal. 107. 17. Esay 50. 1. Pen. 2. 17, 19.
t Esay 15. 5. a 16. 11. a 21. 3. a 22. 4. Pen. 9. 1, 10.
u Psal. 42. 7. Ezec. 7. 26.
‖ *llenni.*

21 Pa hŷd y gwelaf faner, *ac* y clywaf sain yr udgorn?

22 Canys *y mae* fy mhobl i yn ynfyd heb fy adnabod i; meibion angall *ydynt*, ac nid deallgar hwynt: *y maent* yn synhwyrol i wneuthur drwg, eithr gwneuthur da ni fedrant.

23 Mi a edrychais ar y ddaear, ac wele, afluniaidd a gwâg *oedd*; ac ar y nefoedd, a goleuni nid *oedd* ganddynt.

x Esay 5. 25.

24 x Mi a edrychais ar y mynyddoedd, ac wele yr oeddynt yn crynu; a'r holl fryniau a ymysgydwent.

25 Mi a edrychais, ac wele, nid *oedd* dyn, a holl adar y nefoedd a giliasent.

26 Mi a edrychais, ac wele'r dol-dir yn anialwch, a'i holl ddinasoedd a ddistrywiasid o flaen yr ARGLWYDD, gan lidiowgrwydd ei ddigter ef.

y Pen. 5. 10, 18. a 30. 11. a 46. 28.

27 Canys fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD, Y tir oll fydd diffaethwch: y ac etto ni wnaf ddiben.

z Esay 5. 30. a 50. 3.

28 Am hynny y galara'r ddaear, ac z y tywylla'r nefoedd oddi uchod: o herwydd dywedyd o honof fi, Mi a'i bwriedais, ac ni bydd edifar gennyf, ac ni throf oddi wrtho.

29 Rhag trwst y gwŷr meirch a'r saethyddion y ffŷ'r holl ddinas; hwy a ant i'r dyrysni, ac a ddringant ar y creigiau: yr holl ddinasoedd a adewir, ac heb neb a drigo ynddynt.

† Neu, *dorri dy lygaid.*

30 A thithau yr anrheithiedig, beth a wnei? Er ymwisgo o honot ag ysgarlad, er it' ymdrwsio â thlysau aur, er i ti † liwio dy wyneb â lliwiau, yn ofer y'th wnei dy hun yn dêg; *dy* gariadau a'th ddirmygant, *ac* a geisiant dy einioes.

31 Canys clywais lef megis gwraig yn esgor, cyfyngder fel benyw yn esgor ar ei hetifedd cyntaf, llef merch Sion, yn ochain, *ac* yn lledu ei dwylaw, *gan ddywedyd*, Gwae fi yr awr hon, oblegid diffygiodd fy enaid gan leiddiaid.

## PEN. V.

Gorph. 19. B. Sal 14. ar ol y Drindod, B.

1 *Barnedigaethau Duw ar yr Iuddewon, am eu gwrthnysigrwydd,* 7 *am eu godineb,* 10 *am eu hannuwioldeb,* 19 *am iddynt ddiystyru Duw,* 25 *am eu mawr lygredigaeth yn eu llywodraeth fydol* 30 *ac eglwysig.*

Cylch 612.

† *changlennydd.* a Gen. 18. 23, &c. Psal. 12. 1.

RHEDWCH yma a thraw ar hŷd heolydd Jerusalem, ac edrychwch yr awr hon, mynnwch wybod hefyd, a cheisiwch yn ei † heolydd hi, o chewch wr, a a oes a wnel farn, a gais wirionedd, a myfi a'i harbedaf hi.

b Edrych Pen. 4. 2.

2 Ac b er dywedyd o honynt, Byw yw'r ARGLWYDD, etto yn gelwyddog y tyngant.

c Esay 1. 5. a 9. 13. Pen. 2. 30. d Seph. 3. 2.

3 O ARGLWYDD, onid ar y gwirionedd *y mae* dy lygaid di? ti c a'u tarewaist hwynt, ac nid ymofidiasant; difeaist hwynt, *eithr* d gwrthodasant dderbyn cerydd: hwy a wnaethant eu hwynebau yn galettach nâ chraig, gwrthodasant ddychwelyd.

e Pen. 8. 7.

4 A mi a ddywedais, Yn sier tlodion *ydyw* y rhai hyn, ynfydion ydynt: canys e nid adwaenant ffordd yr ARGLWYDD, *na* barn eu Duw.

f Mich. 3. 1. g Psal. 2. 3.

5 Mi a af rhagof at y gwŷr mawr, ac a ymddiddanaf â hwynt; canys f hwy a wybuant ffordd yr ARGLWYDD, *a* barn eu Duw: eithr y rhai hyn g a gyd-dorrasant yr iau, *ac* a ddrylliasant y rhwymau.

h Pen. 4. 7. i Psal. 104. 20. Hab. 1. 8. ‡ Neu, *yr hwyr.* k Hos. 13. 7.

6 Oblegid hyn h llew o'r coed a'u tery hwy, i blaidd ‡ o'r anialwch a'u distrywia hwy, k llewpard a wylia ar eu dinasoedd hwy: pawb a'r a ddel allan o honynt a rwygir: canys eu camweddau a amlhasant, eu gwrthdroeydd § a chwanegasant.

§ Heb. *a gryfhasid.* l Jos. 23. 7 Seph. 1. 5.

7 ¶ Pa fodd y'th arbedwn am hyn? dy blant a'm gadawsant i, ac l a dyngasant i'r *rhai* nid *ydynt* dduwiau: a phan ddiwellais hwynt, gwnaethant odineb, ac a heidiasant i dŷ'r buttain.

m Ezec. 22. 11.

8 m Oeddynt *fel* meirch porthiannus y bore; gweryrent bob un ar wraig ei gymmydog.

n Adn. 29. a Pen. 9. 9.

9 n Onid ymwelaf am *y pethau* hyn? medd yr ARGLWYDD: oni ddial fy enaid ar gyfryw genedl a hon?

o Pen. 39. 8. p Pen. 4. 27.

10 ¶ o Dringwch ar ei muriau hi, a distrywiwch, p ond na orphenwch yn llwyr: tynnwch ymaith eu mur-ganllawiau hi; canys nid eiddo'r ARGLWYDD *ydynt*.

q Pen. 3. 20.

11 Oblegid q ty Israel a thŷ Judah a wnaethant yn anffyddlon iawn â mi, medd yr ARGLWYDD.

r 2 Chron. 36. 16. s Esay 28. 15.

12 r Celwyddog fuant yn erbyn yr ARGLWYDD, a dywedasant, s Nid efe *yw*; ac ni ddaw drygfyd arnom, ac ni welwn gleddyf na newyn:

13 A'r prophwydi a fuant fel gwŷnt, a'r gair nid *yw* ynddynt: fel hyn y gwneir iddynt hwy.

t Pen. 1. 9.

14 Am hynny fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW y lluoedd, Am i chwi ddywedyd y gair hwn, t wele fi yn rhoddi fy ngeiriau yn dy enau di yn dân, a'r bobl hyn yn gynnud, ac efe a'u difa hwynt.

u Deut. 28. 49. Esay 5. 26. Pen. 1. 15. a 6. 22.

15 Wele, mi a ddygaf arnoch chwi, tŷ Israel, u genedl o bell, medd yr ARGLWYDD: cenedl nerthol *ydyw*, cenedl *a fu* er ys talm, cenedl ni wyddost ei hiaith, ac ni ddeall beth a ddywedant.

16 Ei chawell saethau hi *sydd* fel bedd agored, cedyrn *ydynt* oll.

x Lef. 26. 16. Deut. 28. 31, 33.

17 A hi a fwytty dy x gynhaeaf di, a'th fara, *yr hwn* a gawsai dy feibion di a'th ferched ei fwytta: hi a fwytty dy ddefaid di a'th wartheg: hi a fwytty dy winwŷdd a'th ffigyswŷdd: dy ddinasoedd cedyrn, y rhai yr wyt yn ymddiried ynddynt, a dloda hi â'r cleddyf.

y Pen. 4. 27.

18 Ac er hyn, yn y dyddiau hynny, medd yr ARGLWYDD, y ni wnaf fi gwbl ben â chwi.

z Pen. 13. 22. a 16. 10.

19 ¶ A bydd pan ddywedoch, z Pa ham y gwna yr ARGLWYDD ein DUW hyn oll i ni? ddywedyd o honot tithau wrthynt, Megis y gwrthodasoch fi, ac y gwasanaethasoch dduwiau dieithr yn eich tir eich hun; felly y gwasanaethwch ddieithriaid mewn tir nid *yddo* eiddo chwi.

20 Mynegwch hyn yn nhŷ Jacob, a chyhoeddwch hyn yn Judah, gan ddywedyd,

a Esay 6. 9. Ezec. 12. 2. Mat. 13. 14. Ioan 12. 40. Act. 28. 26. Rhuf. 11. 8.

21 Gwrando hyn yn awr, a ti bobl ynfyd ac heb ‖ ddeall; y rhai y mae llygaid iddynt, ac ni welant; *a chlustiau* iddynt, ac ni chlywant:

‖ Heb. *galon.* b Job 38. 10, 11. Psal. 104. 9.

22 Onid ofnwch chwi fi? medd yr ARGLWYDD: oni chrynwch rhag fy wyneb, yr hwn a osodais y tywod b *yn* derfyn i'r môr *trwy* ddeddf dragywyddol, fel nad elo dros hwnnw; er i'r tonnau ymgyrchu, etto ni thyccia iddynt; er iddynt derfysgu, etto ni ddeuant dros hwnnw?

23 Eithr i'r bobl hyn y mae calon wrthnysig ac anufuddgar: hwynt-hwy a giliasant, ac a aethant *ymaith*.

24 Ac ni ddywedant yn eu calon, Ofnwn weithian yr ARGLWYDD ein DUW, [c] yr hwn sydd yn rhoi 'r gwlaw cynnar a'r diweddar yn ei amser: *efe* a geidw i ni ddefodol wythnosau cynhauaf.

[c] Deut. 11. 14.

25 ¶ Eich anwireddau chwi a droes heibio y rhai hyn, a'ch pechodau chwi a attaliasant ddaioni oddi wrthych.

26 Canys ym mysg fy mhobl y ceir anwiriaid, y rhai [d] a † wyliant megis *un* yn gosod maglau: gosodant offer dinystr, dynion a ddaliant.

[d] Diar. 1. 11, 17, 18.
† Neu, *dremiant fel adar-wŷr yn cynllwyn.*

27 Fel cawell yn llawn o adar, felly *y mae* eu tai hwynt yn llawn o dwyll: am hynny y cynnyddasant, ac yr ymgyfoethogasant.

28 [e] Tewychasant, disgleiriasant, aethant hefyd tu hwnt i weithredoedd y drygionus; [f] ni farnant farn yr amddifad, [g] etto ffynnasant; ac ni farnant farn yr anghenus.

[e] Deut. 32. 15.
[f] Esay 1. 23. Zech. 7. 10.
[g] Job 12. 6. Psal. 73. 12. Pen. 12. 1.

29 [h] Onid ymwelaf am *y pethau* hyn? medd yr ARGLWYDD; oni ddial fy enaid ar gyfryw genedl a hon?

[h] Adn. 9.

30 ¶ ‡ Peth aruthr ac erchyll a wnaed yn y tir.

‡ Neu, *Syndod a brynti.*

31 Y prophwydi a brophwydant [i] gelwydd, yr offeiriaid hefyd a § lywodraethant trwy eu gwaith hwynt; a'm pobl a hoffant *hynny*: etto beth a wnewch yn niwedd hyn?

[i] Pen. 14. 14. a 23. 25, 26. Ezec. 13. 6.
§ Heb. *gymmerant i'w dwylaw.*

## PEN. VI.

Gorph. 19. P.

1 *Y gelynion a yrrwyd yn erbyn Judah,* 4 *yn ymgusuro.* 6 *Duw yn gosod y gelynion ar waith o herwydd pechodau ei bobl.* 9 *Y prophwyd yn cwyno rhag barnedigaethau Duw o herwydd eu pechodau hwy:* 18 *yn cyhoeddi digofaint Duw:* 26 *yn galw'r bobl i alaru, o herwydd barnedigaethau Duw, am eu pechodau hwy.*

Cylch 612.

YMGYNHULLWCH i ffoi, meibion Benjamin, o ganol Jerusalem, ac yn Tecoa udgenwch udgorn; a chodwch ffagl yn Beth-haccerem: canys [a] drwg a welir o'r gogledd, a dinystr mawr.

[a] Pen. 1. 14.

2 Cyffelybais ferch Sïon i *wraig* † dêg foethus.

† Neu, *yn trigo gartref.*

3 Atti hi y daw 'r bugeiliaid â'u dïadellau; yn ei herbyn hi o amgylch y gosodant *eu* pebyll; porant bob un yn ei le.

4 Parottöwch ryfel yn ei herbyn hi; codwch, ac awn i fynu ar hanner dydd. Gwae ni, o herwydd ciliodd y dydd, canys cysgodau 'r hwyr a ymestynasant.

5 Codwch, ac awn i fynu o *hŷd* nos, a distrywiwn ei phalasau hi.

6 ¶ Canys fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd, Torrwch goed, a ‡ chodwch glawdd yn erbyn Jerusalem. Dyma'r ddinas *sydd* i ymweled â hi; gorthrymder *yw* hi oll o'i mewn.

‡ Neu, *thywalltwch yr offer saethu.*

7 [b] Megis y gwna ffynnon i'w dwfr darddu allan, felly y mae hi yn bwrw allan ei drygioni: [c] trais ac yspail a glywir ynddi; gofid a dyrnodiau *sy*'n wastad ger fy mron.

[b] Esay 57. 20.
[c] Psal. 55. 9, 10, 11.

8 Cymmer addysg, O Jerusalem, rhag [d] i'm henaid i § ymado oddi wrthyt; rhag i mi dy osod di yn anrhaith, yn dir anghyfanneddol.

[d] Ezec. 23. 18.
§ Neu, *ymddattod.*

9 ¶ Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd, Gan loffa y lloffant weddill Israel fel gwinwŷdden: tro dy law yn ei hol, megis casglydd grawnwin i'r basgedau.

10 Wrth bwy y dywedaf fi, a phwy a rybuddiaf, fel y clywant? Wele, [e] eu clust hwy *sy* ddïenwaededig, ac ni allant wrando: wele, dirmygus ganddynt air yr ARGLWYDD; nid oes ganddynt ewyllys iddo.

[e] Pen. 7. 26.

11 Am hynny 'r ydwyf fi yn llawn o lid yr ARGLWYDD; blinais yn ymattal: tywalltaf ef ar y plant || yn yr heol, ac ar gynnulleidfa'r gwŷr ieuaingc hefyd: canys y gwr a'r wraig a ddelir, yr henwr a'r llawn o ddyddiau.

|| Neu, *allan.*

12 [f] A'u tai a ddigwyddant i eraill, *eu* meusydd a'u gwragedd hefyd: canys estynaf fy llaw ar drigolion y wlad, medd yr ARGLWYDD.

[f] Deut. 28. 30. Pen. 8. 10.

13 Oblegid [g] o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf, pob un sydd yn ymroi i gybydd-dod: ac o'r prophwyd hyd yr offeiriad, pob un sydd yn gwneuthur ffalsder.

[g] Esay 56. 11. Pen. 8. 10. a 14. 18. a 23. 11.

14 A hwy [h] a iachasant † friw *merch* fy mhobl i yn esmwyth, gan ddywedyd, Heddwch, heddwch; er nad *oedd* heddwch.

[h] Pen. 8. 11. Ezec. 13. 10.
† Heb. *dorriad.*

15 [i] A ydoedd arnynt hwy gywilydd pan wnelent ffieidd-dra? nid ydoedd arnynt hwy ddim cywilydd, ac ni fedrent wrido: am hynny y cwympant ym mysg y rhai a gwympant; yn yr amser yr ymwelwyf â hwynt y cwympant, medd yr ARGLWYDD.

[i] Pen. 3. 3. a 8. 12.

16 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Sefwch ar y ffyrdd, ac edrychwch, a gofynwch am [k] yr hen lwybrau, lle *mae* ffordd dda, a rhodiwch ynddi; a [l] chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau. Ond hwy a ddywedasant, Ni rodiwn ni *ynddi.*

[k] Esay 8. 20. Pen. 18. 15. Mal. 4. 4. Luc 16. 29.
[l] Mat. 11. 29.

17 A mi a osodais [m] wylwŷr arnoch chwi, *gan ddywedyd,* Gwrandêwch ar sain yr udgorn. Hwythau a ddywedasant, Ni wrandâwn ni ddim.

[m] Esay 21. 11. Ezec. 3. 17. Hab. 2. 1.

18 ¶ Am hynny clywch, genhedloedd; a thi gynnulleidfa, gwybydd pa bethau sy yn eu plith hwynt.

19 [n] Gwrando, tydi 'r ddaear, wele fi yn dwyn drygfyd ar y bobl hyn, *sef* [o] ffrwyth eu meddyliau eu hunain; am na wrandawsant ar fy ngeiriau, na'm cyfraith, eithr gwrthodasant hi.

[n] Esay 1. 2.
[o] Diar. 1. 31.

20 [p] I ba beth y daw i mi thus o Seba, a chalamus peraidd o wlad bell? eich poethoffrymmau nid *ydynt* gymmeradwy, ac nid melus eich aberthau gennyf.

[p] Esay 1. 11. a 66. 3. Amos 5. 21. Mich. 6. 6, &c.

21 Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Wele fi yn rhoddi tramgwyddiadau i'r bobl hyn, fel y tramgwyddo wrthynt y tadau a'r meibion ynghŷd; cymmydog a'i gyfaill a ddifethir.

22 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Wele [q] bobl yn dyfod o dir y gogledd, a chenedl fawr a gyfyd o ystlysau 'r ddaear.

[q] Pen. 1. 15. a 5. 15. a 10. 22. a 50. 41, 42, 43.

23 Yn y bwa a'r waywffon yr ymaflant; creulon *ydynt,* ac ni chymmerant drugaredd: eu llais a rua megis y môr, ac ar feirch y marchogant yn daclus, megis gwŷr i ryfel yn dy erbyn di, merch Sïon.

24 Clywsom son am danynt; ein dwylaw a laesasant; [r] blinder a'n daliodd, fel gofid gwraig yn esgor.

[r] Pen. 4. 31. a 49. 24. a 50. 43.

25 Na ddos allan i'r maes, ac na rodia ar hŷd y ffordd: canys cleddyf y gelyn *ac* arswyd *sydd* oddi amgylch.

26 ¶ Merch fy mhobl, [s] ymwregysa â sachliain, ac [t] ymdroa yn y lludw; [u] gwna i ti' gwynfan *a* galar tost, *megis am* unig *fab*: canys y distrywiwr a ddaw yn ddisymmwth arnom ni.

[s] Pen. 4. 8. a 25. 34.
[t] Mich. 1. 10.
[u] Zech. 12. 10.

27 [x] Mi a'th roddais di yn dŵr, *ac* yn gadernid ym mysg fy mhobl, i wybod ac i brofi eu ffordd hwy.

[x] Pen. 1. 18. a 15. 20.

28 Cyndyn o'r fath gyndynnaf *ydynt* oll,
[y] Pen. 9. 4. [y] yn rhodio ag enllib: [z] efydd a haiarn *ynt;*
[z] Ezec. 22. 18. llygru y maent hwy oll.
29 Llosgodd y fegin; gan dân y darfu 'r
plwm; yn ofer y toddodd y toddydd:
canys ni thynnwyd y rhai drygionus ym-
aith.
[a] Esay 1. 22. 30 [a] Yn arian gwrthodedig y galwant
hwynt; am wrthod o'r ARGLWYDD
hwynt.

## PEN. VII.

Gorph. 20. 8. 1 *Anfon Jeremi i alw am wir edifeirwch, i
luddias y caethiwed. 8 Y mae yn llysu eu
hofer ymddiried hwy, 12 trwy esampl Siloh.
17 Y mae yn eu bygwth am eu delw-addol-
iaeth: 21 yn llysu ebyrth yr anufudd;
29 yn eu hannog i alaru, o achos eu ffieidd-
dra yn Tophet, 32 a'r barnedigaethau a
ddoi am hynny.*

Cylch 600. Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi
wrth yr ARGLWYDD, gan ddywedyd,
2 Saf di ym mhorth tŷ 'r ARGLWYDD,
a chyhoedda'r gair hwn yno, a dywed,
Gwrandêwch air yr ARGLWYDD, *chwi* holl
Judah, y rhai a ddeuwch i mewn trwy 'r
pyrth hyn i addoli 'r ARGLWYDD.
3 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y llu-
[a] Pen. 18. 11. a 26. 13. oedd, DUW Israel, [a] Gwellhêwch eich ffyrdd,
a'ch gweithredoedd; ac mi a wnaf i chwi
drigo yn y man yma.
4 Nac ymddiriedwch mewn geiriau cel-
[b] Mich. 3. 11. wyddog, [b] gan ddywedyd, Teml yr AR-
GLWYDD, teml yr ARGLWYDD, teml yr AR-
GLWYDD *ydynt.*
5 Canys os gan wellhâu y gwellhêwch
eich ffyrdd, a'ch gweithredoedd; os gan
wneuthur y gwnewch farn rhwng gwr a'i
gymmydog;
6 Ac ni orthrymmwch y dïeithr, yr
ymddifad, a'r weddw; ac ni thywelltwch
waed gwirion yn y fan hon; ac ni rod-
iwch ar ol duwiau dïeithr, i'ch niweid
eich hun;
7 Yna y gwnaf i chwi drigo yn y fan hon,
yn y tir a roddais i'ch tadau chwi, yn oes
oesoedd.
[c] Adn. 4. 8 ¶ Wele [c] chwi yn ymddiried mewn
geiriau celwyddog ni wnant les.
9 Ai yn lladratta, yn lladd, ac yn godi-
nebu, a thyngu anudon, ac arogl-darthu i
Baal, a rhodio ar ol duwiau dïeithr, y rhai
nid adwaenoch;
10 Y deuwch ac y sefwch ger fy mron
† Neu, *A elwir ar fy enw.* i yn y tŷ hwn, yr hwn † y gelwir fy enw i
arno, ac y dywedwch, Rhyddhawyd ni
i wneuthur y ffieidd-dra hyn oll?
[d] Mat. 21. 13. Marc 11. 17. Luc 19. 46. 11 Ai [d] yn lloches lladron yr aeth [e] y tŷ
yma, ar yr hwn y gelwir fy enw i, ger bron
eich llygaid? wele, minnau a welais *hyn,*
[e] Esay 56. 7. medd yr ARGLWYDD.
12 Eithr, attolwg, ewch [f] i'm lle, yr
[f] Jos. 18. 1. Barn. 18. 31. hwn *a fu* yn Siloh, lle y gosodais fy enw
ar y cyntaf, ac edrychwch beth a wneu-
thum i hwnnw, o herwydd anwiredd fy
mhobl Israel.
13 Ac yn awr, am wneuthur o honoch
[g] Adn. 25. Pen. 11. 7. yr holl weithredoedd hyn, medd yr AR-
GLWYDD, minnau a leferais wrthych,
[h] Diar. 1. 24. Esay 65. 12. a 66. 4. [g] gan godi 'n fore, a llefaru, etto ni chlyw-
soch; a [h] gelwais arnoch, ond nid atteb-
asoch:
[i] 1 Sam. 4. 10, 11. Psal. 78. 60. a 132. 6. Pen. 26. 6. 14 Am hynny y gwnaf i 'r tŷ *hwn* y gelwir
fy enw arno, yr hwn yr ydych yn ymddi-
ried ynddo, ac i 'r lle a roddais i chwi ac i'ch
tadau, megis y gwneuthum i [i] Siloh.

15 A mi a'ch taflaf allan o'm golwg, fel
y teflais eich holl frodyr, *sef* holl had Eph-
raim.
16 Am hynny [k] na weddïa dros y bobl [k] Exod. 32. 10. Pen. 11. 14. a 14. 11.
hyn, ac na ddyrchafa waedd na gweddi
drostynt, ac nac eiriol arnaf: canys ni'th
wrandawaf.
17 ¶ Oni weli di beth y maent hwy yn ei
wneuthur yn ninasoedd Judah, ac yn heol-
ydd Jerusalem?
18 [l] Y plant sy'n casglu cynnud, a'r [l] Pen. 44. 19.
tadau yn cynneu tân, a'r gwragedd yn ty-
lino toes, i wneuthur teisenau i ‡ fren- ‡ Neu, *waith.*
hines y nef, ac i dywallt dïod-offrymmau i
dduwiau dïeithr, i'm digio i.
19 Ai fi y maent hwy yn ei ddigio? medd
yr ARGLWYDD: ai hwynt eu hun, er cy-
wilydd i'w hwynebau eu hun?
20 Am hynny fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd DDUW, Wele, fy llid a'm digofaint a
dywelltir ar y man yma, ar ddyn ac ar ani-
fail, ar goed y maes, ac ar ffrwyth y ddaear;
ac efe a lysg, ac ni's diffoddir.
21 ¶ Fel hyn y dywed ARGLWYDD y
lluoedd, DUW Israel; [m] Rhoddwch eich [m] Esay 1. 11. Pen. 6. 20. Amos 5. 21. Edrych Hos. 8. 13.
poeth-offrymmau at eich aberthau, a bwyt-
têwch gig.
22 Canys ni ddywedais i wrth eich tadau,
ac ni orchymynais iddynt, y dydd y dygais
hwynt o dir yr Aipht, am § boeth-offrym- § Heb. *negesau poeth-offr*
mau neu aberthau:
23 Eithr y peth hyn a orchymynais
iddynt, gan ddywedyd, [n] Gwrandêwch ar [n] Deut. 6. 3.
fy llef, a [o] mi a fyddaf DDUW i chwi, a
chwithau fyddwch yn bobl i minnau; [o] Exod. 19. 5. Lef. 26. 2.
a rhodiwch yn yr holl ffyrdd a orchy-
mynais i chwi, fel y byddo yn ddaionus i
chwi.
24 [p] Eithr ni wrandawsant, ac ni ostyng- [p] Pen. 11. 8.
asant eu clust, ond rhodiasant yn ol cyng-
horion ‖ *a* childynrwydd eu calon ddryg- ‖ Neu, *ac amcanion.*
ionus, ac [q] † aethant yn ol, ac nid ym
mlaen.
25 O'r dydd y daeth eich tadau chwi [q] Pen. 2. 27. a 32. 33.
allan o wlad yr Aipht hyd y dydd hwn, † Heb. *oeddynt yn ol.*
[r] mi a ddanfonais attoch fy holl wasanaeth-
wŷr y prophwydi, [s] *bob* dydd gan fore-godi,
ac anfon: [r] 2 Chron. 36. 15. Pen. 25. 4.
26 [t] Er hynny ni wrandawsant arnaf fi,
ac ni ostyngasant eu clust, eithr [u] caledasant [s] Adn. 13.
eu gwarrau; gwnaethant yn waeth nâ'u [t] Pen. 11. 8.
tadau.
27 Am hynny ti a ddywedi 'r geiriau [u] Neh. 9. 17, 29. Pen. 16. 12. a 17. 23. a 19. 15. a 25. 3.
hyn oll wrthynt; ond ni wrandawant ar-
nat: gelwi hefyd arnynt; ond nid atteb-
ant di.
28 Eithr ti a ddywedi wrthynt, Dyma
genedl ni wrendy ar lais yr ARGLWYDD
ei DUW, ac ni dderbyn ‡ gerydd: darfu am ‡ Neu, *addysg.*
y gwirionedd, a thorrwyd hi ymaith o'u
genau hwynt.
29 ¶ [x] Cneifia dy wallt, *O Jerusalem,* a [x] Job 1. 20. Esay 15. 2. Jer. 16. 6.
bwrw i ffordd; a chyfod gwynfan ar y
lleoedd uchel: canys yr ARGLWYDD a
fwriodd i ffordd ac a wrthododd genhedl-
aeth ei ddigofaint.
30 Canys meibion Judah a wnaethant [y] 2 Bren. 21. 4. 2 Chron. 33. 4. Ezec. 7. 20. a 8. 5, 6. Dan. 9. 27.
ddrwg yn fy ngolwg, medd yr AR-
GLWYDD: [y] gosodasant eu ffieidd-dra yn
y tŷ yr hwn y gelwir fy enw arno, i'w
halogi ef.
31 A hwy a adeiladasant [z] uchelfeydd [z] 2 Bren. 23. 10. Pen. 19. 5.
Tophet, yr hon *sydd* ynglynn mab Hin-
nom, i losgi eu meibion a'u merched yn tân, § Heb. *esgynodd ar fy nghalon.*
yr hyn ni orchymynais, ac ni § feddyliodd
fy nghalon.

[a] Pen. 19. 32 ¶ Am hynny wele'r dyddiau [a] yn
6. dyfod, medd yr ARGLWYDD, na elwir hi
[b] Deut. 28. mwy Tophet, na glynn mab Hinnom, namyn
26. Psal. 79. 2. glynn lladdedigaeth; canys claddant o fewn
Pen. 12. 9. Tophet, nes bod eisiau lle.
a 16. 4. a 33 A bydd [b] celanedd y bobl hyn yn
34. 20. fwyd i adar y nefoedd, ac i anifeiliaid y
[c] Esay 24. ddaear; ac ni *bydd a'u* tarfo.
7, 8. Pen. 16. 9. 34 [c] Yna y gwnaf i lais llawenydd, a
a 25. 10. a llais digrifwch, llais prïod-fab, a llais prïod-
33. 11. Ezec. 26. 13. ferch, ddarfod allan o ddinasoedd Judah, ac
Hos. 2. 11. o heolydd Jerusalem; canys yn anrhaith y
Dat. 18. 23. bydd y wlad.

## PEN. VIII.

Gorph. 20. P. 1 *Gofid yr Iuddewon, yn fyw ac yn farw.* 4 *Y mae yn edliw iddynt eu hynfyd a'u digywilydd anedifeirwch:* 13 *yn dangos y farn dost a gaent hwy,* 18 *ac yn cwyno eu henbyd gyflwr hwy.*

Cylch 600. YN yr amser hwnnw, medd yr ARGLWYDD, y dygant hwy esgyrn bre-
nhinoedd Judah, ac esgyrn ei dywysogion,
ac esgyrn yr offeiriaid, ac esgyrn y pro-
phwydi, ac esgyrn trigolion Jerusalem, allan
o'u beddau.
2 A hwy a'u taenant o flaen yr haul, ac o
flaen y lleuad, a holl lu'r nefoedd y rhai a
garasant hwy, a'r rhai a wasanaethasant,
a'r rhai y rhodiasant ar eu hol, a'r rhai a
geisiasant, a'r rhai a addolasant: ni chesglir
hwynt, ac ni's cleddir; yn dommen ar wy-
neb y ddaear y byddant.
3 Ac angau a ddewisir o flaen bywyd
gan yr holl weddillion a adewir o'r teulu
drwg hwn, y rhai a adewir yn y lleoedd oll
y gyrrais i hwynt yno, medd ARGLWYDD y
lluoedd.
4 ¶ Ti a ddywedi wrthynt hefyd, Fel
hyn y dywed yr ARGLWYDD; A gwymp-
ant hwy, ac ni chodant? a drŷ efe ymaith,
ac oni ddychwel?
5 Pa ham y ciliodd pobl Jerusalem yma
yn eu hol ag encil tragywyddol? glyn-
asant mewn twyll, gwrthodasant ddych-
welyd.
6 Mi a wrandewais ac a glywais, *ond* ni
ddywedent yn iawn: nid edifarhaodd neb
[a] Esay 1. 3. am ei anwiredd, gan ddywedyd, Beth a
[b] Pen. 5. 4, wneuthum i? pob un oedd yn troi i'w yrfa,
5. megis march yn rhuthro i'r frwydr.
† Neu, *ffals bin* 7 Ië, [a] y ciconia yn yr awyr a edwyn ei
*yr ysgri-* dymhorau; y durtur hefyd, a'r aran, a'r
*fenyddion* wennol, a gadwant amser eu dyfodiad;
*sydd yn* eithr [b] fy mhobl i ni wyddant farn yr AR-
*gweithio ar ffalsder,* GLWYDD.
Esay 10. 1. 8 Pa fodd y dywedwch, Doethion *ydym*
[c] Pen. 6. 15. ni, a chyfraith yr ARGLWYDD *sydd* gyd â
‡ Neu, ni? wele, yn ddiau † ofer y gwnaeth *hi*; ofer
*a warad.* *yw* pin y 'sgrifenyddion.
*a ddych.* *ac a ddal-* 9 [c] Y doethion ‡ a waradwyddwyd, a
*iwyd* ddychrynwyd, ac a ddaliwyd: wele, gwrth-
*hwynt?* odasant air yr ARGLWYDD; a § pha ddoe-
§ Heb. *doethineb* thineb *sydd* ynddynt?
*pa beth?* 10 Am hynny [d] y rhoddaf eu gwragedd
[d] Deut. 28. hwynt i eraill, *a'u* meusydd i'r rhai a'u
30. meddianno: canys o'r lleiaf hyd y mwyaf,
Pen. 6. 12. pob un sy'n ymrôi i [e] gybydd-dod; o'r
Amos 5. 11. Seph. 1. 13. prophwyd hyd at yr offeiriad, pawb sydd yn
[e] Esay 56. gwneuthur ffalsder.
11. Pen. 6. 13. 11 [f] Iachasant hefyd archoll merch fy
[f] Pen. 6. 14. mhobl yn ysgafn, gan ddywedyd, [g] Hedd-
wch, heddwch, pryd nad *oedd* heddwch.
[g] Ezec. 13. 10. 12 A fu [h] gywilydd arnynt hwy pan
[h] Pen. 3. 3. wnaethant ffieidd-dra? na fu ddim cywi-
a 6. 15. lydd arnynt, ac ni fedrasant wrido: am
hynny y syrthiant ym mysg y rhai a syrth-
iant: yn amser eu hymweliad y syrthiant,
medd yr ARGLWYDD.
13 ¶ Gan ‖ ddifa y difaf hwynt, medd ‖ Neu,
yr ARGLWYDD; ni *bydd* grawnwin [i] ar y *gasglu.*
winwŷdden, na ffigys [k] ar y ffigysbren, a'r [i] Esay 5. 1,
ddeilen a syrth; a'r *hyn* a roddais iddynt a &c.
ymedy â hwynt. [k] Mat. 21. 19.
14 Pa ham yr ydym ni yn aros? [l] ym- Luc 13. 6,
gesglwch ynghŷd, ac awn i'r dinasoedd &c.
cedyrn, a distâwn yno: canys yr AR- [l] Pen. 4. 5.
GLWYDD ein Duw a'n gostegodd, ac a
roes i ni [m] ddwfr † bustl i'w yfed, o [m] Pen. 9.
herwydd pechu o honom yn erbyn yr AR- 15. a 23.
GLWYDD. 15.
15 [n] Disgwyl yr oeddym am heddwch, † Neu, *gwenwyn.*
etto ni *ddaeth* daioni; am amser meddyg- [n] Pen. 14.
iniaeth, ac wele ddychryn. 19.
16 O [o] Ddan y clywir ffroeniad ei feirch [o] Pen. 4. 15.
ef; gan lais gweryriad ei gedyrn ef y
crynodd yr holl ddaear: canys hwy a
ddaethant, ac a fwyttasant y tir, ‡ ac oll ‡ Heb.
a oedd ynddo; y ddinas a'r rhai sy'n trigo *a'i gyf-*
ynddi. *lawnder.*
17 Canys wele, mi a ddanfonaf seirph,
aspiaid i'ch mysg, y rhai nid *oes* [p] swyn [p] Psal. 58.
rhagddynt: a liwy a'ch brathant chwi, medd 4, 5.
yr ARGLWYDD.
18 ¶ *Pan* ymgysurwn yn erbyn gofid, fy
nghalon *sydd* yn gofidio § ynof. § Heb.
19 Wele, lais gwaedd merch fy mhobl, *arnaf.*
oblegid ‖ y rhai o wlad bell: Onid *ydyw*'r ‖ Heb.
ARGLWYDD yn Sïon? onid *yw* ei brenhin *gwlad y*
hi ynddi? pa ham y'm digiasant â'u delwau *pellennig-*
cerfiedig, *ac* ag oferedd dieithr? *ion.*
20 Y cynhauaf a aeth heibio, darfu'r haf,
ac nid ydym ni gadwedig. † Heb.
21 Am friw merch fy mhobl y'm briwyd *duais.*
i; † galerais: daliodd synder fi. [q] Gen. 37.
22 Onid *oes* [q] driagl yn Gilead? onid *oes* 25.
yno physygwr? pa ham na ‡ wellhâ iechyd Pen. 46. 11.
merch fy mhobl? a 51. 8.
‡ Heb. *esgyn.*

## PEN. IX.

1 *Jeremi yn cwynfan o achos amryw bech-* Gorph. 21.
*odau'r Iuddewon,* 9 *a'u barnedigaethau.* B.
12 *Anufudd-dod yw achos eu chwerw ofid*
*hwy.* 17 *Y mae yn eu hannog i gwynfan o*
*achos eu dinystr:* 23 *ac i hyderu, nid*
*arnynt eu hunain, ond ar Dduw.* 25 *Y*
*mae yn bygwth Iuddewon a Chenhedloedd*
*hefyd.*

† O [a] Na bai fy mhen yn ddyfroedd, a'm Cylch
llygaid yn ffynnon o ddagrau, fel yr 600.
wylwn ddydd a nos am laddedigion merch † Heb.
fy mhobl! *Pwy a*
2 Oh na byddai i mi yn yr anialwch *rydd fy*
letty fforddolion, fel y gadâwn fy mhobl, ac *mhen yn*
yr elwn oddi wrthynt! canys [b] hwynt *ddwfr?*
oll *ydynt* odinebus, a chymmanfa anffydd- *neu, i'm*
loniaid. *pen ddwfr?*
[a] Esay 22. 4.
3 A [c] hwy a annelasant eu tafod *fel* eu Pen. 4. 19.
bwa i gelwydd; ac nid at wirionedd yr a 14. 17.
ymgryfhasant ar y ddaear: canys aethant o [b] Pen. 5. 7,
ddrwg i ddrwg, ac nid adnabuant fi, medd 8.
yr ARGLWYDD. [c] Psal. 64. 3.
4 [d] Gochelwch bawb ei ‡ gymmydog, ac Esay 59. 4,
na choelied neb ei frawd: canys pob brawd 13, 15.
gan ddisodli a ddisodla, a phob cymmydog [d] Pen. 12. 6.
[e] a rodia yn dwyllodrus. Mich. 7. 5,
5 Pob un hefyd a § dwylla ei gymmydog, 6.
a'r gwir ni's dywedant: hwy a ddysgasant ‡ Neu, *Gyfaill.*
eu tafodau i ddywedyd celwydd, ymflin- [e] Pen. 6. 28.
asant yn gwneuthur anwiredd.
6 Dy drigfan *sydd* ynghanol twyll: o her- § Neu, *watwar.*

wydd twyll y gwrthodasant fy adnabod i,
medd yr ARGLWYDD.
7 Am hynny fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd; Wele fi yn eu toddi
hwynt, ac yn eu profi hwynt: canys pa
wedd y gwnaf o herwydd merch fy
mhobl?
† Neu, saeth ei saethu. 8 Saeth † lem yw eu tafod hwy, yn dy-
wedyd ‡ twyll: â'i enau y traetha un ᶠ hedd-
ᶠ Psal. 12. 2. a 120. 3. wch wrth ei gymydog, eithr o'i fewn y
gesyd ‡ gynllwyn iddo.
ᵍ Psal. 28. 3. 9 ¶ ʰ Oni ymwelaf â hwynt am hyn?
medd yr ARGLWYDD: oni ddial fy enaid
‡ Neu, cynllwyn. ar y cyfryw genedl a hon?
10 Dros y mynyddoedd y codaf wylo-
ʰ Pen. 5. 9, 29. fain a chwynfan, ⁱ a galar dros § lannerch-
au'r anialwch; am eu ‖ llosgi hwynt, fel
ⁱ Pen. 12. 4. na thramwyo neb trwyddynt, ac na chlywir
a 4. 25. llais ysgrubliaid: † adar y nefoedd a'r
Hos. 4. 3. anifeiliaid hefyd a giliasant, aethant ymaith.
§ Neu, drigfeydd, neu, borfeydd. 11 A mi a wnaf Jerusalem yn garnedd-
au, ac ᵏ yn drigfan dreigiau; a dinasoedd
Judah a wnaf yn ddiffaethwch heb bre-
‖ Neu, hanghyfanneddu. swylydd.
12 ¶ ˡ Pa wr sydd ddoeth a ddeall hyn?
† Heb. o ehediaid y nef hyd an. y ciliasant. a phwy y traethodd genau'r ARGLWYDD
wrtho, fel y mynego, pa ham y darfu am
y tir, ac y llosgwyd fel anialwch heb gyn-
niweirydd?
ᵏ Esay 34. 13. 13 A dywedodd yr ARGLWYDD, Am
wrthod o honynt fy nghyfraith, yr hon a
Pen. 10. 22. roddais ger eu bron hwynt, ac na wrandaw-
ˡ Psal. 107. 43. sant ar fy llef, na rhodio ynddi;
14 Eithr myned yn ol ‡ cyndynrwydd
‡ Neu, meddylfryd. eu calon eu hun, ac yn ol Baalim, yr hyn a
ddysgodd eu tadau iddynt:
15 Am hynny fel hyn y dywed AR-
GLWYDD y lluoedd, Duw Israel, Wele,
ᵐ Pen. 8. 14. a 23. 15. mi a'u bwydaf hwynt, y bobl hyn, ᵐ â
wermod, ac a'u diodaf hwynt â dwfr
bustl.
ⁿ Lef. 26. 33. 16 ⁿ Gwasgaraf hwynt hefyd ym mysg
cenhedloedd nid adnabuant hwy na'u tad-
Deut. 28. 64. au: a mi a ddanfonaf ar eu hol hwynt
gleddyf, hyd oni ddifethwyf hwynt.
17 ¶ Fel hyn y dywed ARGLWYDD y
ᵒ 2 Chron. 35. 25. lluoedd; Edrychwch, a ᵒ gelwch am alar-
wragedd i ddyfod, a danfonwch am y rhai
Job 3. 8.
Preg. 12. 5. cyfarwydd, i beri iddynt ddyfod;
Amos 5. 16. 18 A brysio, a chodi cwynfan am danom
ni, fel y gollyngo ein llygaid ni ddagrau, ac
y difero ein hamrantau ni ddwfr.
19 Canys llais cwynfan a glybuwyd o
Sïon, Pa wedd y'n hanrheithiwyd! Ni a
lwyr-waradwyddwyd; o herwydd i ni adael
ᵖ Lef. 18. 28. a 20. 22. y tir, o herwydd ᵖ i'n trigfannau ein bwrw
ni allan.
20 Etto gwrandêwch air yr ARGLWYDD,
O wragedd, a derbynied eich clust air ei
enau ef; dysgwch hefyd gwynfan i'ch
merched, a galar bob un i'w gilydd.
21 O herwydd dringodd angau i'n ffe-
nestri, ac efe a ddaeth i'n palasau, i ddi-
strywio'r rhai bychain oddi allan, a'r gwŷr
ieuaingc o'r heolydd.
22 Dywed, Fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD, Celanedddau dynion a syrthiant
megis tom ar wyneb y maes, ac megis y
dyrnaid ar ol y medelwr, ac ni chynnull neb
hwynt.
23 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
Nac ymffrostied y doeth yn ei ddoethineb,
ac nac ymffrostied y cryf yn ei gryfder,
ᑫ 1 Cor. 1. 31. ac nac ymffrostied y cyfoethog yn ei gy-
2 Cor. 10. 17. foeth;
24 Eithr ᑫ y neb a ymffrostio, ymffrost-
ied yn hyn, ei fod yn deall, ac yn fy ad-
nabod i, mai myfi yw'r ARGLWYDD a wna
drugaredd, barn a chyfiawnder yn y ddaear:
o herwydd yn y rhai hynny yr ymhyfryd-
dais, medd yr ARGLWYDD.
25 ¶ Wele'r dyddiau yn dyfod, medd yr § Heb. a dorrwyd ymaith i genglau, neu, a dorrwyd corrau eu gwallt.
ARGLWYDD, pan ymwelwyf â phob en-
waededig ynghyd â'r rhai dienwaededig;
26 Â'r Aipht, ac â Judah, ac ag Edom,
ac â meibion Ammon, ac â Moab, ac â'r
rhai oll § sydd yn ʳ y cyrrau eithaf, a'r ʳ Pen. 25. 23. a 49. 32.
rhai a drigant yn yr anialwch: canys yr
holl genhedloedd hyn sy ddienwaededig, a ˢ Lef. 26. 41.
holl dŷ Israel sydd â ˢ chalon ddienwaed- Rhuf. 2. 28, 29.
edig.

## PEN. X.

1 *Yr anghyffelybrwydd sydd rhwng Duw ac eilunod. 17 Y mae'n annog i ochel y gofidiau sydd ar ddyfod: 19 yn cwyno anrhaith y tabernacl gan fugeiliaid ynfydion: 23 yn gwneuthur gweddi ostyngedig.* Gorph. 21. P.

GWRANDÊWCH y gair a ddywed Cylch
yr ARGLWYDD wrthych chwi, tŷ Is- 600.
rael:
2 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, ᵃ Na ᵃ Lef. 18. 3.
ddysgwch ffordd y cenhedloedd, ac nac ᵃ 20. 23.
ofnwch arwyddion y nefoedd: canys y cen-
hedloedd a'u hofnant hwy.
3 Canys deddfau'r bobloedd sydd ofer-
edd: o herwydd ᵇ cymmyna un bren o'r ᵇ Esay 40. 19. a 44. 9, 12, &c.
coed (gwaith llaw'r saer) â bwyall.
4 Ag arian ac ag aur yr harddant ef; â
hoelion ac â morthwylion y sicrhânt ef, fel
na syflo.
5 Megis palmwŷdden, syth ydynt hwy, ᶜ Psal. 115. 5. a 135. 16.
ᶜ ac ni lefarant: ᵈ y mae'n rhaid eu dwyn
hwy, am na allant gerdded. Nac ofnwch ᵈ Esay 46. 1, 7.
hwynt; canys ᵉ ni allant wneuthur drwg,
a gwneuthur da nid oes ynddynt. ᵉ Esay 41. 23.
6 Yn gymmaint ag ᶠ nad oes neb fel tydi,
ARGLWYDD: mawr wyt, a mawr yw dy ᶠ Exod. 15. 11.
enw mewn cadernid. Psal. 86. 8, 10.
7 ᵍ Pwy ni'th ofna di, Brenhin y cenhedl-
oedd? canys i ti y † gweddai: o herwydd ᵍ Dat. 15. 4.
ym mysg holl ddoethion y cenhedloedd, ac † Neu, perthynai.
ym mysg eu holl deyrnasoedd hwy, nid oes
neb fel tydi. ‡ Heb. yn un, neu, ar un-waith yr ynfydasant.
8 Eithr ‡ ʰ cyd-ynfydasant ac ammhwyll-
asant: athrawiaeth oferedd yw cyff.
9 Arian wedi ei yrru yn ddalennau a
ddygir o Tarsis, ac ⁱ aur o Uphaz, gwaith ʰ Psal. 115. 8.
y celfydd, a dwylaw'r toddydd: sidan glas
a phorphor yw eu gwisg hwy; gwaith y ⁱ Esay 41. 29. Hab. 2. 18. Zech. 10. 2.
celfydd ynt oll.
10 Eithr yr ARGLWYDD ydyw § 'r gwir Rhuf. 1. 21, 22.
DDUW, efe yw'r Duw byw, a'r ᵏ Brenhin
‖ tragywyddol: rhag ei lid ef y cryna'r ˡ Dan. 10. 5.
ddaear, a'r cenhedloedd ni allant ddioddef
ei sorriant ef. § Heb. Duw y gwirionedd.
11 Fel hyn y dywedwch wrthynt: ˡ Y
duwiau ni wnaethant y nefoedd a'r ddaear,
difethir hwynt o'r ddaear, ac oddi tan y ᵏ Psal. 10. 16.
nefoedd.
12 Efe ᵐ a wnaeth y ddaear trwy ei ‖ Heb. tragywyddoldeb.
nerth, efe a sicrhaodd y byd trwy ei ddoeth-
ineb, ac ⁿ a estynodd y nefoedd trwy ei ˡ Edrych Psal. 96. 5.
synwyr.
13 Pan roddo efe ei lais, y bydd † twrf ᵐ Gen. 1. 1, 6.
dyfroedd yn y nefoedd, ac ᵒ efe a wna i'r Psal. 136. 5, 6.
tarth ddyrchafu o eithafoedd y ddaear: efe
a wna fellt ‡ gyd â'r gwlaw, ac a ddwg y Pen. 51. 15, &c.
gwŷnt allan o'i drysorau. ⁿ Job 9. 8.

Psal. 104. 2. Esay 40. 22. † Neu, lliaws. ᵒ Psal. 135. 7. ‡ Neu, i'r gwlaw.

14 Ynfyd yw pob dyn yn *ei* wybodaeth;
[p] Esay 42. [p] gwaradwyddwyd pob toddydd trwy'r
17. a 44. 11. ddelw gerfiedig: canys celwydd *yw* ei
a 45. 16. ddelw dawdd, ac nid *oes* anadl ynddynt.
15 Ofered *ynt, a* gwaith cyfeiliorni: yn
amser eu gofwy y difethir hwynt.
16 Nid fel y rhai hyn *yw* rhan Jacob:
[q] Psal. 74. canys lluniwr pob *peth yw* efe, ac [q] Israel
2. *yw* gwialen ei etifeddiaeth ef. ARGLWYDD
y lluoedd *yw* ei enw.
[r] Edrych 17 ¶ [r] Casgl o'r tir dy farsiandïaeth, yr
Pen. 6. 1. hon wyt yn trigo yn yr ymddiffynfa.
Ezec. 12. 3. 18 Canys fel hyn y dywed yr AR-
[s] 1 Sam. 25. GLWYDD, Wele fi [s] yn taflu trigolion y
29. tir y waith hon, a chyfyngaf arnynt, fel y
caffont *felly*.
19 ¶ Gwae fi am fy mriw, dolurus *yw*
fy archoll: ond mi a ddywedais, Yn ddïau
dyma ofid, a mi a'i dygaf.
20 Fy mhabell i a anrheithiwyd, a'm
rhaffau oll a dorwyd; fy mhlant a aethant
oddi wrthyf, ac nid *ydynt*: nid *oes* mwy a
ledo fy mhabell, ac a gyfyd fy llenni.
21 Canys y bugeiliaid a ynfydasant, ac
ni cheisiasant yr ARGLWYDD: am hynny
ni lwyddant; a *defaid* eu porfa hwy oll a
wasgerir.
22 Wele, trwst y son a ddaeth, a chyn-
[t] Pen. 1. nwrf mawr o [t] dir y gogledd, i osod dinas-
15. a 4. 6. oedd Judah yn ddiffaethwch, *ac* [u] yn drig-
a 5. 15. a 6. 22. fan dreigiau.
[u] Pen. 9. 23 ¶ Gwn, ARGLWYDD, [x] nad eiddo dyn
11. ei ffordd; nid ar law gwr a rodio *y mae* lly-
[x] Diar. 16. wodraethu ei gerddediad.
1. a 20. 24. 24 [y] Cospa fi, ARGLWYDD, etto mewn
[y] Psal. 6. 1. barn, nid yn dy lid, rhag it' fy † ngwneu-
a 38. 1. Pen. 30. 11. thur yn ddiddym.
† Heb. 25 [z] Tywallt dy lid ar y cenhedloedd y
*lleihau.* rhai ni'th adnabuant, ac ar y teuluoedd ni
[z] Psal. 79. alwasant ar dy enw: canys bwyttasant Ja-
6. cob, ïe bwyttasant ef, difasant ef hefyd, ac
anrheithiasant ei gyfannedd.

## PEN. XI.

Gorph. 22. 1 *Jeremi yn cyhoeddi cyfammod Duw;* 8 *yn
B. ceryddu'r Iuddewon am fod yn anufudd
iddo,* 11 *yn prophwydo y doi drygau arnynt
hwy,* 18 *ac ar wŷr Anathoth, am gyd-
fwriadu lladd Jeremi.*

Cylch 608. Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi
wrth yr ARGLWYDD, gan ddywedyd,
2 Gwrandêwch eiriau'r cyfammod hwn, a
dywedwch wrth wŷr Judah, ac wrth bres-
wylwŷr Jerusalem:
3 Dywed hefyd wrthynt, Fel hyn y dy-
[a] Deut. 27. wed ARGLWYDD DDUW Israel; [a] Melldig-
26. Gal. 3. 10. edig *fyddo*'r gwr ni wrendy ar eiriau'r cy-
fammod hwn,
4 Yr hwn a orchymynais i'ch tadau chwi
y dydd y dygais hwynt o wlad yr Aipht,
[b] Deut. 4. [b] o'r ffwrn haiarn, gan ddywedyd, [c] Gwran-
20. 1 Bren. 8. dêwch ar fy llef, a gwnewch hwynt, yn ol
51. yr hyn oll a orchymynwyf i chwi: felly chwi
[c] Lef. 26. a fyddwch yn bobl i mi, a minnau a fyddaf
3, 12. yn DDUW i chwithau:
[d] Deut. 7. 5 Fel y gallwyf gwblhâu'r [d] llw a dyng-
12. ais wrth eich tadau, ar roddi iddynt dir yn
llifeirio o laeth a mel, megis *y mae* heddyw.
Yna'r attebais, ac y dywedais, O AR-
† Heb. GLWYDD, † felly y byddo.
*Amen,* 6 Yna'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth-
Deut. 27. 15—26. yf, Cyhoedda'r geiriau hyn oll yn ninasoedd
Judah, ac yn heolydd Jerusalem, gan ddy-
wedyd, Gwrandêwch eiriau'r cyfammod hwn,
a gwnewch hwynt.

7 Canys gan dystiolaethu y tystiolaethais
wrth eich tadau, y dydd y dygais hwynt i
fynu o dir yr Aipht, hyd y dydd hwn, [e] trwy [e] Pen. 7
godi'n fore, a thystiolaethu, gan ddywedyd, 13, 25.
Gwrandêwch ar fy llais. [f] Pen. 7.
8 [f] Ond ni wrandawsant, ac ni ogwydd- 26.
asant eu clust, eithr [g] rhodiasant bawb yn [g] Pen. 3.
ol ‡ cyndynrwydd eu calon ddrygionus: 17. a 7. 24. a 9. 14.
am hynny y dygaf arnynt holl eiriau'r cyf- ‡ Neu,
ammod hwn, yr hwn a orchymynais *iddynt* *meddyl-*
ei wneuthur, ond ni wnaethant. *fryd.*
9 A dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf,
[h] Cyd-fradwriaeth a gafwyd yngwŷr Judah, [h] Ezec. 22.
ac ym mysg trigolion Jerusalem. 25.
10 Troisant at anwiredd eu tadau gynt, Hos. 6. 9.
y rhai a wrthodasant wrando fy ngeiriau:
a hwy a aethant ar ol duwiau dïeithr i'w
gwasanaethu hwy: tŷ Judah a thŷ Israel
a dorrasant fy nghyfammod yr hwn a
wneuthum â'u tadau hwynt.
11 ¶ Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD, Wele fi yn dwyn drwg arnynt, yr
hwn ni's gallant fyned oddi wrtho: [i] yna y [i] Psal. 18.
gwaeddant arnaf, ac ni wrandawaf hwynt. 41.
12 Yna dinasoedd Judah a thrigolion Je- Diar. 1. 28. Esay 1. 15.
rusalem a ant, ac [k] a waeddant ar y duwiau Pen. 14. 12.
yr arogl-darthant iddynt: ond gan waredu Ezec. 8. 18. Mich. 3. 4.
ni allant eu gwared hwynt yn amser eu Zech. 7. 13.
drygfyd. [k] Deut. 32.
13 Canys *yn ol* rhifedi dy [l] ddinasoedd yr 37, 38.
oedd dy dduwiau, O Judah; ac *yn ol* rhifedi [l] Pen. 2. 28.
heolydd Jerusalem y gosodasoch allorau i'r § Heb.
§ peth gwaradwyddus *hwnnw,* ïe allorau i *gwarad-*
fwg-darthu i Baal. *wydd,*
Hos. 9. 10.
14 Am hynny [m] na weddïa dros y bobl [m] Pen. 7.
hyn, ac na chyfod waedd neu weddi drostynt: 16. a 14. 11.
canys ni wrandawaf yr amser y gwaeddant [n] Esay 1.
arnaf o herwydd eu drygfyd. 11, &c.
15 [n] ‖ Beth *a wna* fy anwyl yn fy nhŷ, ‖ Heb.
gan iddi wneuthur ysgelerder lawer? a'r *Beth* sydd
cig cyssegredig a aeth ymaith oddi wrthyt: *i'm han-*
† pan wnelit ddrygioni, yna y llawenychit. *wylyd yn,* &c.
16 Olewŷdden ddeiliog dêg, o ffrwyth † Heb.
prydferth, y galwodd yr ARGLWYDD dy *pan fyddo*
enw: trwy drwst cynnwrf mawr y cyn- *dy ddryg-*
neuodd tân ynddi, a'i changhennau a dor- *ioni.*
rwyd.
17 Canys ARGLWYDD y lluoedd, [o] yr [o] Pen. 2.
hwn a'th blannodd, a draethodd ddrwg 21.
yn dy erbyn, o herwydd drygioni tŷ Is-
rael a thŷ Judah, y rhai a wnaethant yn eu
herbyn eu hun, i'm digio i, trwy fwg-darthu
i Baal.
18 ¶ A'r ARGLWYDD a hyspysodd im', a
mi a'*i* gwn; yna y dangosaist im' eu gweith-
redoedd hwy.
19 A minnau *oeddwn* fel oen, *neu* fust-
ach a ddygid i'w ladd; ac ni wyddwn [p] fwr- [p] Pen. 18.
iadu o honynt fwriadau yn fy erbyn i, 18.
*gan ddywedyd,* Distrywiwn y pren ynghŷd ‡ Heb.
a'i ‡ ffrwyth, a [q] difethwn ef o dir y rhai *fara.*
byw, fel na chofier ei enw ef mwy. [q] Psal. 83. 4.
20 Eithr, O ARGLWYDD y lluoedd, barn-
wr cyfiawnder, a [r] chwiliwr yr arennau a'r [r] 1 Sam. 16.
galon, gwelwyf dy ddïaledd arnynt; canys i 7.
ti y datguddiais fy nghwyn. 1 Chron. 28. 9.
21 Am hynny fel hyn y dywed yr AR- Psal. 7. 9.
GLWYDD am wŷr Anathoth, y rhai a geisi- Pen. 17. 10. a 20. 12.
ant dy einioes, gan ddywedyd, [s] Na phro- Dat. 2. 23.
phwyda yn enw'r ARGLWYDD, rhag dy farw [s] Esay 30.
trwy ein dwylaw ni: 10.
22 Am hynny fel hyn y dywed AR- Amos 2. 12. a 7. 13.
GLWYDD y lluoedd; Wele fi yn ymweled Mich. 2. 6.
â hwynt: y gwŷr ieuaingc a fyddant feirw
trwy'r cleddyf, a'u meibion a'u merched a
fyddant feirw o newyn.

23 Ac ni bydd gweddill o honynt: canys
mi a ddygaf ddrygfyd ar wŷr Anathoth, *sef*
blwyddyn eu gofwy.

## PEN. XII.

1 *Jeremi yn cwyno rhag llwyddiant yr an-*
*nuwiol, a thrwy ffydd yn gweled eu cwymp*
*hwy. 5 Duw yn ei rybuddio ef o fradwr-*
*iaeth ei frodyr yn ei erbyn; 7 ac yn go-*
*fidio dros ei etifeddiaeth; 14 ac yn addo*
*i'r edifeiriol gael dychwelyd o gaethiwed.*

[a] CYFIAWN *wyt*, ARGLWYDD, pan ddadleuwyf
â thi: er hynny ymresymmaf
â thi *am dy* farnedigaethau: [b] Pa ham y
llwydda ffordd yr anwir, *ac* y ffynna'r an-
ffyddloniaid oll?
2 Plennaist hwy, ïe gwreiddiasant; † cyn-
nyddant, ïe dygant ffrwyth; [c] agos *wyt* yn
eu genau, a phell oddi wrth eu harennau.
3 Ond ti, ARGLWYDD, [d] a'm hadwaen-
ost i; ti a'm gwelaist, ac [e] a brofaist fy
nghalon ‡ tu ag attat; tynn allan hwynt
megis defaid i'r lladdfa, a pharottoa hwynt
erbyn dydd y lladdfa.
4 Pa hyd y galara'r tir, ac y gwywa
gwellt yr holl faes, [f] oblegid drygioni'r
rhai sy'n trigo ynddo? [g] methodd yr
anifeiliaid a'r adar, oblegid iddynt ddy-
wedyd, Ni wêl efe ein diwedd ni.
5 ¶ O rhedaist ti gyd â'r gwŷr traed,
a hwy yn dy flino, pa fodd yr ymdarewi
â'r meirch? ac os *blinasant di* mewn tir
heddychlawn, *yn yr hwn* yr ymddiriedaist,
yna pa fodd y gwnai yn [h] ymchwydd yr
Iorddonen?
6 Canys [i] dy frodyr, a thŷ dy dad, ïe y
rhai hynny a wnaethant yn anffyddlon â
thi; hwynt-hwy hefyd a § waeddasant yn
groch ar dy ol: [k] na choelia hwy, er iddynt
ddywedyd ‖ geiriau têg wrthyt.
7 ¶ Gadewais fy nhŷ, gadewais fy eti-
feddiaeth; mi a roddais † anwylyd fy enaid
yn llaw ei gelynion.
8 Fy etifeddiaeth sydd i mi megis llew yn
y coed, ‡ rhuo y mae i'm herbyn; am hynny
caseais hi.
9 Y *mae* fy etifeddiaeth i mi *fel* aderyn
§ brith; *y mae*'r adar o amgylch yn ei
herbyn hi: deuwch, ymgesglwch, holl fwy-
stfilod y maes; [l] ‖ deuwch i ddifa.
10 Bugeiliaid lawer a ddistrywiasant fy
ngwinllan; sathrasant fy rhandir, fy rhan-
dir dirion a wnaethant yn ddiffaethwch
anrheithiol.
11 Gwnaethant hi yn anrhaith, *ac* wedi
ei hanrheithio y galara hi wrthyf: y tir i
gyd a anrheithiwyd, am nad *oes* neb yn *ei*
gymmeryd at *ei* galon.
12 Anrheithwŷr a ddaethant ar yr holl
fryniau trwy'r anialwch: canys cleddyf yr
ARGLWYDD a ddifetha o'r *naill* gwrr i'r
ddaear hyd y cwrr *arall* i'r ddaear: nid *oes*
heddwch i un cnawd.
13 [m] Hauasant wenith, ond hwy a fedant
ddrain; ymboenasant, *ond* ni thyccia idd-
ynt: a hwy a gywilyddiant am eich ffrwyth-
ydd chwi, o herwydd llid digofaint yr AR-
GLWYDD.
14 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
yn erbyn fy holl gymmydogion drwg, y
rhai sy'n cyffwrdd â'r etifeddiaeth a berais
i'm pobl Israel ei hetifeddu, Wele, mi [n] a'u
tynnaf hwy allan o'u tir, ac a dynnaf dŷ
Judah o'u mysg hwynt.
15 Ac wedi i mi eu tynnu hwynt allan,
mi a ddychwelaf ac a drugarhâf wrthynt;

Gorph. 22. 1'.
Cylch 608.
[a] Psal. 51. 4.
[b] Job 12. 6. a 21. 7. Psal. 37. 1, 35. a 73. 3, &c. Pen. 5. 28. Hab. 1. 4. Mal. 3. 15.
† Heb. *ant rhagddynt.*
[c] Esay 29. 13.
[d] Psal. 17. 3. a 139. 1.
[e] Pen. 11. 20.
‡ Heb. *gyd â thi.*
[f] Psal. 107. 34.
[g] Pen. 4. 25. a 7. 20. a 9. 10. Hos. 4. 3.
[h] Jos. 3. 15. 1 Chron. 12. 15. Pen. 49. 19. a 50. 44.
[i] Pen. 9. 4.
§ Neu, *alwasant lliaws ar dy ol.*
[k] Diar. 26. 25.
‖ Heb. *bethau da.*
† Heb. *gariad.*
‡ Neu, *ll fodd.* Heb. *rhoddes ei llef.*
§ Neu, *crafangog,* neu, *ewinog.*
[l] Pen. 7. 33.
‖ Neu, *perwch iddynt ddyfod.*
[m] Lef. 26. 16. Deut. 28. 38. Mich. 6. 15. Hag. 1. 6.
[n] Deut. 30. 3. Pen. 32. 37.

a dygaf hwynt drachefn bob un i'w etifedd-
iaeth, a phob un i'w dir.
16 Ac os gan ddysgu y dysgant ffyrdd
fy mhobl, i dyngu i'm henw, Byw yw'r
ARGLWYDD (megis y dysgasant fy mhobl
i dyngu i Baal) yna'r adeiledir hwy yngha-
nol fy mhobl.
17 Eithr oni [o] wrandawant, yna gan ddi-
wreiddio y diwreiddiaf fi y genedl hon, a
chan ddifetha myfi a'i dinystriaf hi, medd yr
ARGLWYDD.

## PEN. XIII.

1 *Trwy arwydd y gwregys lliain a gudd-*
*iwyd yn Euphrates, y mae Duw yn rhag-*
*ddangos dinystr ei bobl. 12 Trwy ddam-*
*meg costrelau a lenwid â gwin, yn rhag-*
*fynegi y meddwid hwy â dryglyd. 15 Y*
*mae yn eu hannog i ochel y barnedigaethau*
*sydd ar ddyfod; 22 ac yn dangos mai eu*
*ffieidd-dra hwy oedd yr achos o hynny.*

FEL hyn y dywed yr ARGLWYDD wrthyf,
Dos a chais it' wregys lliain, a dod ef
am dy lwynau, ac na ddod ef mewn dwfr.
2 Felly y ceisiais wregys yn ol gair yr
ARGLWYDD, ac a'i dodais am fy lwynau.
3 A daeth gair yr ARGLWYDD attaf eil-
waith, gan ddywedyd,
4 Cymmer y gwregys a gefaist, *ac sydd*
am dy lwynau, a chyfod, dos i Euphrates, a
chuddia ef mewn twll o'r graig.
5 Felly mi a aethum ac a'i cuddiais ef
yn Euphrates, megis y gorchymynasai'r
ARGLWYDD i mi.
6 Ac ar ol dyddiau lawer y dywedodd yr
ARGLWYDD wrthyf, Cyfod, dos i Euphrates,
a chymmer oddi yno y gwregys a orchymyn-
ais i ti ei guddio yno.
7 Yna'r aethum i Euphrates, ac a glodd-
iais, ac a gymmerais y gwregys o'r man lle y
cuddiaswn ef: ac wele, pydrasai'r gwregys,
*ac* nid oedd efe dda i ddim.
8 A daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan
ddywedyd,
9 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD;
Felly y gwnaf i falchder Judah, a mawr
falchder Jerusalem bydru.
10 Y bobl ddrygionus hyn, y rhai a
wrthodant wrando fy ngeiriau i, y rhai a
rodiant ynghyndynrwydd eu calon, ac a
ant ar ol duwiau dieithr, i'w gwasanaethu
hwynt, ac i ymostwng iddynt, a fyddant
fel y gwregys yma, yr hwn nid yw dda i
ddim.
11 Canys megis ag yr ymwasg gwregys
am lwynau gwr, felly y gwneuthum i holl
dŷ Israel a holl dŷ Judah lynu wrthyf, medd
yr ARGLWYDD, i fod i mi yn bobl, ac yn
enw, ac yn foliant, ac yn ogoniant: ond ni
wrandawent.
12 ¶ Am hynny y dywedi wrthynt y gair
yma; Fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW
Israel, Pob costrel a lenwir â gwin. A dy-
wedant wrthyt ti, Oni wyddom ni yn sicr y
llenwir pob costrel â gwin?
13 Yna y dywedi wrthynt, Fel hyn y
dywed yr ARGLWYDD; Wele fi yn llen-
wi holl drigolion y tir hwn, ïe y bren-
hinoedd sy'n eistedd yn lle Dafydd ar ei
orsedd-faingc ef, yr offeiriaid hefyd, a'r
prophwydi, a holl breswylwŷr Jerusalem,
[a] â meddwdod.
14 Tarawaf hwy † y naill wrth y llall,
y tadau a'r meibion ynghŷd, medd yr AR-
GLWYDD: nid arbedaf, ac ni thrugarhâf, ac
ni resynaf, ‡ ond eu difetha hwynt.

[o] Esay 60. 12.
Gorph. 23. B.
Cylch 602.
[a] Esay 51. 17, 21. a 63. 6. Pen. 25. 27. a 51. 7.
† Heb. *wr wrth ei frawd.*
‡ Heb. *rhag eu difetha.*

15 ¶ Clywch, a gwrandêwch, na falchi-
wch: canys yr ARGLWYDD a lefarodd.
16 [b] Rhoddwch ogoniant i 'r ARGLWYDD
eich DUW, cyn iddo ef ddwyn [c] tywyllwch,
a chyn i chwi daro eich traed wrth y my-
nyddoedd tywyll; a thra foch [d] yn disgwyl
am oleuni, iddo ef ei droi [e] yn gysgod an-
gau, *a'i* wneuthur yn dywyllwch.
17 Ond oni wrandêwch chwi hyn, fy
enaid a wyla mewn lleoedd dirgel am *eich*
balchder; [f] a'm llygaid gan wylo a wylant,
ac a ollyngant ddagrau, o achos dwyn
diadell yr ARGLWYDD i gaethiwed.
18 Dywed wrth y brenhin a'r frenhines,
Ymostyngwch, eisteddwch i lawr: canys
disgynodd eich † pendefigaeth, *sef* coron
eich anrhydedd.
19 Dinasoedd y deau a gauir, ac ni bydd
a'u hagoro; Judah i gyd a gaeth-gludir, yn
llwyr y dygir hi i gaethiwed.
20 Codwch i fynu eich llygaid, a gwelwch
y rhai sy 'n dyfod o'r gogledd: pa le *y mae* 'r
ddïadell a roddwyd i ti, *sef* dy ddïadell
brydferth?
21 Beth a ddywedi pan ymwelo â thi?
(canys ti a'u dysgaist hwynt yn dywysogion,
ac yn ben arnat:) oni [g] oddiwes gofidiau di
megis gwraig yn esgor?
22 ¶ Ac o dywedi yn dy galon, [h] Pa ham
y digwydd hyn i mi? o herwydd amlder
dy anwiredd [i] y noethwyd dy odre, *ac* y
‡ dinoethwyd dy sodlau.
23 A newidia 'r Ethiopiad ei groen, neu 'r
llewpard ei frychni? *felly* chwithau a ellwch
wneuthur da, y rhai a § gynnefinwyd â
gwneuthur drwg.
24 Am hynny y chwalaf hwynt megis
sofl yn myned ymaith gyd â gwynt y
diffaethwch.
25 Dyma dy gyfran di, y rhan a fesurais
i ti, medd yr ARGLWYDD; am i ti fy an-
ghofio i, ac ymddiried mewn celwydd.
26 Am hynny [k] y dinoethais innau dy
odre di dros dy wyneb, fel yr amlyger dy
warth.
27 Gwelais dy odineb a'th [l] weryriad,
brynti dy butteindra, *a'th* ffieidd-dra [m] ar y
bryniau yn y meusydd. Gwae di, Jerusa-
lem: a ymlanhêi di? || pa bryd bellach?

[b] Jos. 7. 19.
[c] Esay 8. 22.
[d] Esay 59. 9.
[e] Psal. 44. 19.
[f] Galar. 1. 2, 16. a 2. 18.
† Neu, *pen-wisg.*
[g] Pen. 6. 24.
[h] Pen. 5. 19. a 16. 10.
[i] Esay 47. 2, 3.
Nah. 3. 5.
‡ Neu, *dygir ymaith dy sodlau* ... *dinas.*
§ Heb. *dysgwyd.*
[k] Galar. 1. 8.
Ezec. 16. 37. a 23. 29.
Hos. 2. 10.
[l] Pen. 5. 8.
[m] Esay 65. 7.
Pen. 2. 20.
Ezec. 6. 13.
|| Heb. *ar ol pa ... etto?*

## PEN. XIV.

1 *Y newyn tost,* 7 *yn peri i Jeremi weddïo.*
10 *Ni fyn yr Arglwydd ymbil ag ef dros y*
*bobl.* 13 *Nad yw gau-brophwydi yn esgus*
*iddynt hwy.* 17 *Cyffrôi Jeremi i gwyno*
*drostynt hwy.*

GAIR yr ARGLWYDD yr hwn a ddaeth
at Jeremi † o achos y drudaniaeth.
2 Galar Judah, a'i phyrth a lesgaant; y
maent yn ddu hyd lawr, a gwaedd Jerusa-
lem a ddyrchafodd i fynu.
3 A'u boneddigion a hebryngasant eu
rhai bychain i 'r dwfr: daethant i'r ffosydd,
ni chawsant ddwfr; dychwelasant â'u llestri
yn weigion: cywilyddio a gwladeiddio a
wnaethant, a [a] chuddio eu pennau.
4 Oblegid agennu o'r ddaear, am nad
oedd gwlaw ar y ddaear, cywilyddiodd y
llafurwŷr, cuddiasant eu pennau.
5 Ie 'r ewig hefyd a lydnodd yn y
maes, ac a'i gadawodd, am nad oedd
gwellt.
6 [b] A'r asynod gwŷlltion a safasant yn
y lleoedd uchel; yfasant wŷnt fel dreig-
iau: eu llygaid hwy a ballasant, am nad
oedd gwellt.

Gorph. 23. P.
Cylch 601.
† Heb. *am eiriau y drudaniaeth,* neu, *y gwahanieddiadau.*
[a] 2 Sam. 15. 30.
[b] Pen. 2. 24.

7 ¶ O ARGLWYDD, er i'n hanwireddau
dystiolaethu i'n herbyn, gwna di er mwyn
dy enw: canys aml yw ein cildynrwydd
ni; pechasom i'th erbyn.
8 Gobaith Israel, a'i geidwad yn amser
adfyd, pa ham y byddi megis pererin yn y
tir, ac fel ymdeithydd yn troi i lettya dros
noswaith?
9 Pa ham y byddi megis gwr wedi synnu?
fel gwr cadarn heb allu achub? etto *yr*
*ydwyt* yn ein mysg ni, ARGLWYDD, a'th
enw di a elwir arnom: na ad ni.
10 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
wrth y bobl hyn, [c] Fel hyn yr hoffasant
hwy grwydro, ac ni attaliasant eu traed:
am hynny ni's myn yr ARGLWYDD hwy;
[d] yr awr hon y cofia efe eu hanwiredd hwy,
ac a ymwêl â'u pechodau.
11 Yna y dywedodd yr ARGLWYDD
wrthyf, [e] Na weddïa dros y bobl hyn am
ddaioni.
12 [f] Pan ymprydiant, ni wrandawaf eu
gwaedd hwynt; a [g] phan offrymmant boeth-
offrwm a bwyd-offrwm, ni byddaf boddlon
iddynt: ond [h] â'r cleddyf, ac â newyn, ac
â haint, y difaf hwynt.
13 ¶ Yna y dywedais, O ARGLWYDD
DDUW, wele, mae 'r prophwydi yn dy-
wedyd wrthynt, Ni welwch chwi gleddyf,
ac ni ddaw newyn attoch; eithr mi a rodd-
af heddwch ‡ sicr i chwi yn y lle yma.
14 Yna y dywedodd yr ARGLWYDD
wrthyf, Y prophwydi sy 'n prophwydo
celwyddau yn fy enw i; [i] nid anfonais
hwy, ni orchymynais iddynt chwaith, ac
ni leferais wrthynt: gau weledigaeth, a
dewiniaeth, a choegedd, a thwyll eu calon
eu hun, y maent hwy yn eu prophwydo i
chwi.
15 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD am y prophwydi sy 'n prophwydo
yn fy enw i, a minnau heb eu hanfon
hwynt, etto hwy a ddywedant, Cleddyf
a newyn ni bydd yn y tir hwn: Trwy
gleddyf a newyn y difethir y prophwydi
hynny.
16 A'r bobl y rhai y maent yn prophwydo
iddynt, a fyddant wedi eu taflu allan yn
heolydd Jerusalem, o herwydd y newyn
a'r cleddyf; ac ni bydd neb i'w claddu,
hwynt-hwy, na'u gwragedd, na'u meibion,
na'u merched: canys mi a dywalltaf arnynt
eu drygioni.
17 ¶ Am hynny y dywedi wrthynt y gair
yma, [k] Difered fy llygaid i ddagrau nos a
dydd, ac na pheidiant: canys â briw mawr y
briwyd y wŷryf merch fy mhobl, *ac* â phla
tost iawn.
18 Os af fi allan i 'r maes, wele rai wedi
eu lladd â'r cleddyf; ac o deuaf i mewn
i 'r ddinas, wele rai llesg o newyn: canys y
prophwyd a'r offeiriad hefyd sy 'n § am-
gylchu i dir nid adwaenant.
19 Gan wrthod a wrthodaist ti Judah?
neu a ffieiddiodd dy enaid ti Sïon? pa ham
y tarewaist ni, ac nad *oes* i ni feddygin-
iaeth? [l] disgwyliasom am heddwch, ac nid
*oes* daioni; ac am amser iachâd, ac wele
flinder.
20 Yr ydym yn cydnabod, ARGLWYDD,
ein camwedd, *ac* anwiredd ein tadau;
oblegid [m] ni a bechasom yn dy erbyn
di.
21 Na ffieiddia *ni,* er mwyn dy enw, ac
na fwrw i lawr orseddfa dy ogoniant: cofia,
na thor dy gyfammod â ni.

[c] Edrych Pen. 2. 23, 24, 25.
[d] Hos. 8. 13. a 9. 9.
[e] Exod. 32. 10.
Pen. 7. 16. a 11. 14.
[f] Diar. 1. 28.
Esay 1. 15. a 58. 3.
Pen. 11. 11.
Ezec. 8. 18.
Mich. 3. 4.
Zech. 7. 7, 13.
[g] Pen. 6. 20. a 7. 21, 22.
[h] Pen. 9. 16.
‡ Heb. *gwirionedd,* neu, *sicrwydd.*
[i] Pen. 23. 21. a 27. 15 a 29. 8, 9.
[k] Pen. 9. 1. a 13. 17.
Galar. 1. 16. a 2. 18.
§ Neu, *marsiandiaeth yn erbyn tir, a hwythau heb ei gydnabod,*
Pen. 5. 31.
[l] Pen. 8. 15.
[m] Psal. 106. 6.
Dan. 9. 8.

22 [n] A oes *neb* ym mhlith oferedd y cenhedloedd a wna iddi wlawio? neu a rydd y nefoedd gawodau? [o] Onid ti yw efe, O ARGLWYDD ein Duw ni? am hynny arnat ti y disgwyliwn ni: canys ti a wnaethost y *pethau* hyn oll.

[n] Zech. 10. 1, 2. [o] Psal. 135. 7. a 147. 8. Esay 30. 23. Pen. 5. 24. a 10. 13.

## PEN. XV.

1 *Llwyr-wrthodiad, ac amryw farnedigaethau'r Iuddewon. 10 Jeremi yn cwyno rhag eu hatgasrwydd hwy; ac yn derbyn addewid iddo ei hun, 12 a bygwth arnynt hwythau: 15 yn gweddïo, 19 ac yn cael addewid grasusol.*

Gorph. 24. B.

Cylch 601.

A Dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf, [a] Pe safai [b] Moses a [c] Samuel ger fy mron, etto ni *byddai* fy serch ar y bobl yma; bwrw *hwy* allan o'm golwg, ac elont ymaith.

2 Ac os dywedant wrthyt, I ba le yr awn? tithau a ddywedi wrthynt, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, [d] Y sawl *sydd* i angau, i angau; a'r sawl i'r cleddyf, i'r cleddyf; a'r sawl i'r newyn, i'r newyn; a'r sawl i gaethiwed, i gaethiwed.

3 A mi [e] a osodaf arnynt bedwar † rhywogaeth, medd yr ARGLWYDD: y cleddyf, i ladd; a'r cwn, i larpio; ac [f] adar y nefoedd, ac anifeiliaid y ddaear, i ysu ac i ddifa.

4 Ac a'u rhoddaf hwynt i'w [g] symmudo i holl deyrnasoedd y ddaear; herwydd [h] Manasseh mab Hezecïah brenhin Judah, am yr hyn a wnaeth efe yn Jerusalem.

5 Canys [i] pwy a drugarhâ wrthyt ti, O Jerusalem? a phwy a gwyna i ti? a phwy a dry i ymofyn ‡ pa fodd yr wyt ti?

6 Ti a'm gadewaist, medd yr ARGLWYDD, *ac* a aethost yn ol: am hynny'r estynaf fy llaw yn dy erbyn di, ac a'th ddifethaf; myfi a flinais yn edifarhâu.

7 A mi a'u chwalaf hwynt â gwyntyll ym mhyrth y wlad: § diblantaf, difethaf fy mhobl, *gan* na ddychwelant oddi wrth eu ffyrdd.

8 Eu gweddwon a amlhasant i mi tu hwnt i dywod y môr: dygais arnynt yn erbyn ‖ mam y gwŷr ieuaingc, anrheithiwr ganol dydd; perais *iddo* syrthio'n ddisymmwth arni hi, a dychryn ar y ddinas.

9 [k] Yr hon a blantodd saith, a lesgaodd: † ei henaid hi a lesmeiriodd, [l] ei haul a fachludodd tra'r *oedd hi* yn ddydd; hi a gywilyddiwyd ac a waradwyddwyd; a rhoddaf y gweddillion o honynt i'r cleddyf yngŵydd eu gelynion, medd yr ARGLWYDD.

10 ¶ ‡ Gwae fi, fy mam, ymddŵyn o honot fi, yn wr ymryson, ac yn wr cynnen i'r holl ddaear: ni logais, ac ni logwyd i mi; *etto* pawb o honynt sy'n fy melldithio i.

11 Yr ARGLWYDD a ddywedodd, Yn ddïau *bydd* dy weddill di mewn daioni, yn ddïau § gwnaf i'r gelyn fod yn dda wrthyt, yn amser adfyd ac yn amser cystudd.

12 A dyrr haiarn yr haiarn o'r gogledd, a'r dur?

13 Dy gyfoeth a'th drysorau [m] a roddaf yn yspail, nid am werth, ond oblegid dy holl bechodau, trwy dy holl derfynau.

14 Gwnaf it' fyned hefyd gyd â'th elynion i dir nid adwaenost: canys [n] tân a ennynodd yn fy nigofaint, arnoch y llysg.

[a] Ezec. 14. 14, &c. [b] Exod. 32. 11, 14. Psal. 99. 6. [c] 1 Sam. 7. 9. [d] Pen. 43. 11. Zec. 5. 2, 12. Zech. 11. 9. [e] Lef. 26. 16, &c. † Heb. *teulu.* [f] Pen. 7. 33. [g] Deut. 28. 25. Pen. 24. 9. Ezec. 23. 46. [h] 2 Bren. 23. 11. a 21. 26. a 24. 3. [i] Esay 51. 19. ‡ Heb. *am dy heddwch?* § Heb. *a'u diblantaf, neu, ymddifadaf.* ‖ Neu, *y fam ddinas, a'r ieuaingc yn yspeilio, neu, y fam a'r gwr ieuangc.* [k] 1 Sam. 2. 5. † Neu, *ymiliawodd â'r enaid.* [l] Amos 8. 9. ‡ Job 3. 1, &c. Pen. 20. 14. § Neu, *eiriolaf ar y gelyn trosot.* [m] Psal. 44. 12. Pen. 17. 3. [n] Deut. 32. 22.

15 ¶ Ti a wyddost, ARGLWYDD; cofia fi, ac ymwêl â mi, a dïal drosof ar fy erlidwŷr, na ddwg fi ymaith yn dy hir-ymaros: gwybydd ddwyn o honof waradwydd er dy fwyn di.

16 Dy eiriau a gaed, a mi [o] a'u bwytteais hwynt, ac yr oedd dy air di i mi yn llawenydd ac yn hyfrydwch fy nghalon: canys dy enw di a alwyd arnaf fi, O ARGLWYDD DDUW'r lluoedd.

17 [p] Nid eisteddais ynghymmanfa'r gwatwarwŷr, ac *nid* ymhyfrydais: eisteddais fy hunan o herwydd dy law di; canys ti a'm llenwaist i o lid.

18 Paham y mae fy [q] nolur i yn dragywyddol? a'm pla yn anaele, fel na ellir ei iachâu? a fyddi di i mi megis celwyddog, *neu fel* [r] dyfroedd ‖ a ballant?

19 ¶ Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, [s] Os dychweli, yna y'th ddygaf eilwaith, *a* thi a sefi ger fy mron; os [t] tynni ymaith y gwerthfawr oddi wrth y gwael, byddi fel fy ngenau i: dychwelant hwy attat ti, ond na ddychwel di attynt hwy.

20 Gwnaf di hefyd i'r bobl yma [u] yn fagwyr efydd gadarn; a hwy a ryfelant yn dy erbyn di, eithr [x] ni'th orchfygant: canys *yr ydwyf* fi gyd â thi, i'th achub ac i'th wared, medd yr ARGLWYDD.

21 A mi a'th waredaf di o law y rhai drygionus, ac a'th ryddhâf di o law'r ofnadwy.

[o] Ezec. 3. 1, 3. Dat. 10. 9. [p] Psal. 1. 1. a 26. 4, 5. [q] Pen. 30. 15. [r] Job 6. 15, &c. ‖ Heb. *nid ydynt ffyddlon?* [s] Zech. 3. 7. [t] Ezec. 22. 26. a 44. 23. [u] Pen. 1. 18. a 6. 27. [x] Pen. 20. 11, 12.

## PEN. XVI.

1 *Y prophwyd, trwy gysgodion, sef trwy ymattal oddi wrth briodas, ac oddi wrth dai galar a gwledda, yn rhag-ddangos llwyr-ddifrod yr Iuddewon, 10 am eu bod yn waeth na'u tadau; 14 y bydd rhyfeddach eu hymwared hwy allan o gaethiwed, nag allan o'r Aipht; 16 y tâl Duw iddynt eu delw-addoliaeth yn ddau-ddyblyg.*

Gorph. 24. P.

Cylch 601.

GAIR yr ARGLWYDD a ddaeth hefyd attaf fi, gan ddywedyd,

2 Na chymmer i ti wraig, ac na fydded i ti feibion na merched, yn y lle hwn.

3 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD am y meibion ac am y merched a anwyd yn y lle hwn, ac am eu mammau a'u dug hwynt, ac am eu tadau a'u cenhedlodd hwynt yn y wlad hon;

4 [a] O angau nychlyd y byddant feirw: [b] ni alerir am danynt, ac ni's cleddir hwynt: byddant fel tail ar wyneb y ddaear, a darfyddant trwy'r cleddyf, a thrwy newyn; a'u [c] celaneddau fydd yn ymborth i adar y nefoedd, ac i anifeiliaid y ddaear.

5 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, [d] Na ddos i dŷ † y galar, ac na ddos i alaru, ac na chwyna iddynt: canys myfi a gymmerais ymaith fy heddwch oddi wrth y bobl hyn, medd yr ARGLWYDD, *sef* trugaredd a thosturi.

6 A byddant feirw yn y wlad hon, fawr a bychan: ni chleddir hwynt, ac ni alerir am danynt; nid [e] ymdorrir ac nid [f] ymfoelir drostynt.

7 ‡ Ni rannant iddynt *fwyd* mewn galar, i roi cysur iddynt am y marw; ac ni pharant iddynt yfed o phïol cysur, am eu tad, neu am eu mam.

8 Na ddos i dŷ gwledd, i eistedd gyd â hwynt i fwytta ac i yfed.

9 Canys fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd, DUW Israel; Wele, [g] myfi a baraf

[a] Pen. 15. 2. [b] Pen. 25. 33. [c] Psal. 79. 2. Pen. 7. 33. a 15. 3. a 34. 20. [d] Ezec. 24. 17, 22. † Neu, *galar-wledd.* [e] Lef. 19. 28. Deut. 14. 1. [f] Esay 22. 12. ‡ Neu, *Nid ymdorrant trostynt; megis* Ezec. 24. 17. Edrych Deut. 26. 14. Job 42. 11. [g] Esay 24. 7, 8. Pen. 7. 34. a 25. 10. Ezec. 26. 13. Hos. 2. 11. Dat. 18. 23.

i lais cerdd a llawenydd, i lais y prïod-fab, ac i lais y brïod-ferch, ddarfod o'r lle hwn, o flaen eich llygaid, ac yn eich dyddiau chwi.

10 ¶ A phan ddangosech i'r bobl yma yr holl eiriau hyn, ac [h] iddynt hwythau ddywedyd wrthyt, Am ba beth y llefarodd yr ARGLWYDD yr holl fawr-ddrwg hyn i'n herbyn ni? neu, Pa beth *yw* ein hanwiredd? neu, Beth *yw* ein pechod a bechasom yn erbyn yr ARGLWYDD ein DUW?

h Pen. 5. 19. a 13. 22.

11 Yna y dywedi wrthynt, O herwydd i'ch tadau fy ngadael i, medd yr ARGLWYDD, a myned ar ol duwiau dïeithr, a'u gwasanaethu hwynt, ac ymgrymmu iddynt, a'm gwrthod i, a bod heb gadw fy nghyfraith;

12 A chwithau a wnaethoch [i] yn waeth na'ch tadau (canys wele chwi yn rhodio bob un yn ol cyndynrwydd ei galon ddrwg, heb wrando arnaf)

i Pen. 7. 26.

13 [k] Am hynny mi a'ch taflaf chwi, o'r tir hwn, i wlad nid adwaenoch, chwi na'ch tadau; ac yno y gwasanaethwch dduwiau dïeithr ddydd a nos, lle ni ddangosaf i chwi ffafr.

k Deut. 4. 27. a 28. 36, 64, 65.

14 ¶ [l] Gan hynny wele'r dyddiau 'n dyfod, medd yr ARGLWYDD, pryd na ddywedir mwyach, Byw yw'r ARGLWYDD, yr hwn a ddug feibion Israel i fynu o dir yr Aipht:

l Pen. 43. 18. Pen. 23. 7, 8.

15 Eithr, Byw yw'r ARGLWYDD, yr hwn a ddug i fynu feibion Israel o dir y gogledd, ac o'r holl diroedd lle y gyrrasai efe hwynt: a mi a'u dygaf hwynt drachefn i'w gwlad a roddais i'w tadau.

16 ¶ Wele fi yn anfon am [m] bysgodwŷr lawer, medd yr ARGLWYDD, a hwy a'u pysgottant hwy; ac wedi hynny mi a anfonaf am helwŷr lawer, a hwy a'u heliant hwynt oddi ar bob mynydd, ac oddi ar bob bryn, ac o ogofeydd y creigiau.

m Amos 4. 2. Hab. 1. 15.

17 Canys [n] *y mae* fy ngolwg ar eu holl ffyrdd hwynt: nid ydynt guddiedig o'm gŵydd i, ac nid yw eu hanwiredd hwynt guddiedig oddi ar gyfer fy llygaid.

n Job 34. 22. Diar. 5. 21. a 15. 3. Pen. 32. 19.

18 Ac yn gyntaf myfi a dalaf yn ddwbl am eu hanwiredd a'u pechod hwynt; am [o] iddynt halogi fy nhir â'u ffiaidd gelanedd; ïe â'u ffieidd-dra y llanwasant fy etifeddiaeth.

o Ezec. 43. 7, 9.

19 O ARGLWYDD, fy nerth a'm cadernid, [p] a'm noddfa yn nydd blinder; attat ti y daw'r Cenhedloedd o eithafoedd y ddaear, ac a ddywedant, Diau mai celwydd a ddarfu i'n tadau ni ei etifeddu, oferedd, a *phethau* heb les ynddynt.

p Pen. 17. 17.

20 A wna dyn dduwiau iddo ei hun, a [q] hwythau heb *fod* yn dduwiau?

q Pen. 2. 11.

21 Am hynny wele, mi a wnaf iddynt wybod y waith hon, dangosaf iddynt fy llaw a'm grym: a chânt wybod mai yr ARGLWYDD *yw* [r] fy enw.

r Pen. 33. 2.

## PEN. XVII.

Gorph. 26. B.

*1 Caethiwed Judah am eu pechod. 5 Melldithio ymddiried mewn dyn, 7 a bendithio ymddiried yn Nuw. 9 Na's gall y galon dwyllodrus dwyllo Duw. 12 Iachawdwriaeth Duw. 15 Y prophwyd yn cwyno rhag y rhai oedd yn gwatwar ei brophwydoliaeth ef. 19 Ei anfon ef i adnewyddu'r cyfammod, trwy sancteiddio'r Sabboth.*

Cylch 601.

PECHOD Judah a 'sgrifenwyd â [a] phin o haiarn, ag ewin o adamant [b] y cerfiwyd *ef* ar lech eu calon, ac ar gyrn eich allorau;

a Job 19. 24. b Diar. 3. 3.

2 Gan fod eu meibion yn cofio eu hallorau a'u [c] llwyni wrth y pren deiliog ar y bryniau uchel.

c Barn. 3. 7. Esay 1. 29. a 17. 8.

3 Oh fy mynydd yn y maes, [d] dy olud a'th holl drysorau di a roddaf yn anrhaith, a'th uchelfeydd i bechod, trwy dy holl derfynau.

d Pen. 2. 20. Pen. 15. 13.

4 Ti a adewir hefyd † dy hunan, heb dy etifeddiaeth a roddais i ti; a mi a wnaf i ti wasanaethu dy elynion mewn tir nid adwaenost: canys [e] cynneuasoch dân yn fy nig, yr hwn a lysg byth.

† Heb. *ynot dy hunan.*

e Pen. 15. 14.

5 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Melldigedig *fyddo*'r gwr a hydero mewn dyn, ac a wnelo [f] gnawd yn fraich iddo, a'r *hwn* y cilio ei galon oddi wrth yr ARGLWYDD.

f Edrych Esay 31. 3.

6 Canys efe a fydd [g] fel y grug yn y diffaethwch, ac ni wêl pan ddêl daioni; eithr efe a gyfannedda boeth-fannau *yn* yr anialwch, *mewn* tir hallt ac anghyfanneddol.

g Pen. 48. 6.

7 [h] Bendigedig *yw*'r gwr a ymddiriedo yn yr ARGLWYDD, ac y byddo'r ARGLWYDD yn hyder iddo.

h Psal. 2. 12. a 34. 8. a 125. 1. a 146. 5. Diar. 16. 20. Esay 30. 18.

8 Canys efe a fydd [i] megis pren wedi ei blannu wrth y dyfroedd, ac a estyn ei wraidd wrth yr afon, ac ni wŷr oddi wrth ddyfod gwres; ei ddeilen fydd ir, ac ar flwyddyn ‡ sychder ni ofala, ac ni phaid â ffrwytho.

i Job 8. 16. Psal. 1. 3.

‡ Neu, *attal-iaeth.*

9 ¶ Y galon *sydd* fwy ei thwyll nâ dim, a drwg ddïobaith ydyw; pwy a'i hedwyn?

10 Myfi'r ARGLWYDD [k] *sydd* yn chwilio'r galon, yn profi'r arennau, i roddi i bob un yn ol ei ffyrdd, *ac* yn ol ffrwyth ei weithredoedd.

k 1 Sam. 16. 7. 1 Chron. 28. 9. Psal. 7. 9. Diar. 17. 3. Pen. 11. 20 a 30. 12. Rhuf. 8. 27 Dat. 2. 23.

11 *Fel* petris yn § eistedd, ac heb ddeor, *yw*'r hwn a helio gyfoeth yn annheilwng: [l] yn hanner ei ddyddiau y gedy hwynt, ac yn ei ddiwedd ynfyd fydd.

§ Neu, *casglu cywion, nid esgorodd hi.*

l Psal. 55. 23.

12 ¶ Gorsedd ogoneddus ddyrchafedig o'r dechreuad, *yw* lle ein cyssegr ni.

13 O ARGLWYDD, gobaith Israel, [m] y rhai oll a'th wrthodant a waradwyddir, ysgrifenir yn y ddaear y rhai a giliant oddi wrthyf, am iddynt adael yr ARGLWYDD, [n] ffynnon y dyfroedd byw.

m Psal. 73. 17. Esay 1. 28.

14 Iachâ fi, O ARGLWYDD, a mi a iachêir; achub fi, a mi a achubir: canys [o] tydi *yw* fy moliant.

n Pen. 2. 13.

o Deut. 10. 21.

15 ¶ Wele hwynt yn dywedyd wrthyf, [p] Pa le *y mae* gair yr ARGLWYDD? deued bellach.

p Esay 5. 19. Amos 5. 18. 2 Pet. 3. 4.

16 Ond myfi [q] ni phrysurais rhag *bod* yn fugail ar dy ol di: ac ni ddymunais y dydd blin, ti a'i gwyddost: yr oedd yr hyn a ddaeth o'm gwefusau *yn union* ger dy fron di.

q Pen. 1. 4, &c.

17 Na fydd yn ddychryn i mi; [r] ti *yw* fy ngobaith yn nydd y drygfyd.

r Pen. 16. 19.

18 [s] Gwaradwydder fy erlidwŷr, ac na'm gwaradwydder i; brawycher hwynt, ac na'm brawycher i: dwg arnynt ddydd drwg, a [t] dryllia hwynt â drylliad dauddyblyg.

s Psal. 35. 4. a 40. 14.

t Pen. 11. 20.

19 ¶ Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf, Cerdda, a saf ym mhorth meibion y bobl, trwy'r hwn yr â brenhinoedd Judah i mewn, a thrwy yr hwn y deuant allan, ac yn holl byrth Jerusalem;

20 A dywed wrthynt, Gwrandêwch air yr ARGLWYDD, brenhinoedd Judah, a holl Judah, a holl breswylwŷr Jerusalem, y rhai a ddeuwch trwy'r pyrth hyn.

21 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,

ᵘ Neh. 13. 19. ᵘ Disgwyliwch ar eich eneidiau, ac na
ddygwch faich ar y dydd Sabboth, ac na
ddygwch *ef* i mewn trwy byrth Jerusalem.
22 Ac na ddygwch faich allan o'ch tai ar
y dydd Sabboth, ac na wnewch ddim gwaith;
ˣ Exod. 20. 8. a 23. 12. a 31. 13. Ezec. 20. 12. eithr sancteiddiwch y dydd Sabboth, fel ˣ y
gorchymynais i'ch tadau.
23 ʸ Ond ni wrandawsant, ac ni ogwyddasant eu clust; eithr caledasant eu gwarrau
ʸ Pen. 11. 10. rhag gwrando, a rhag derbyn addysg.
24 Er hynny os dyfal-wrandêwch arnaf,
medd yr ARGLWYDD, heb ddwyn baich
trwy byrth y ddinas hon ar y dydd Sabboth,
ond sancteiddio'r dydd Sabboth, heb wneuthur dim gwaith arno:
ᶻ Pen. 22. 4. 25 ᶻ Yna y daw trwy byrth y ddinas hon,
frenhinoedd a thywysogion yn eistedd ar
orsedd Dafydd, yn marchogaeth mewn cerbydau, ac ar feirch, hwy a'u tywysogion,
gwŷr Judah, a phreswylwŷr Jerusalem; a'r
ddinas hon a gyfanneddir byth.
ᵃ Pen. 32. 44. 26 Ac o ddinasoedd Judah, ac o ᵃ amgylchoedd Jerusalem, ac o wlad Benjamin,
ac o'r gwastadedd, ac o'r mynydd, ac o'r
deau, y daw rhai yn dwyn poeth-offrymmau, ac aberthau, a bwyd-offrymmau, a
thus, ac yn dwyn aberthau moliant i dŷ'r
ARGLWYDD.
27 Ond os chwi ni wrendy arnaf, i sancteiddio'r dydd Sabboth, heb ddwyn baich,
ᵇ Pen. 49. 27. wrth ddyfod i byrth Jerusalem, ar y dydd
Sabboth: yna ᵇ mi a gynneuaf dân yn ei
Amos 1. 4, 7, 10, 12. a 2. 2, 5. phyrth hi, ac efe a ysa balasau Jerusalem, ac
ni's diffoddir.

## PEN. XVIII.

Gorph. 26. F. 1 *Trwy arwydd o'r crochenydd, y dangosir cyflawn allu Duw i wneuthur â phob cenedl y peth a fynno.* 11 *Bygwth ar Judah am gilio oddi wrth Dduw.* 18 *Jeremi yn gweddio yn erbyn y rhai oedd mewn cyd-fwriad iddo.*

Cylch 605. Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi
wrth yr ARGLWYDD, gan ddywedyd,
2 Cyfod, a dos i wared i dŷ'r crochenydd,
ac yno y paraf i ti glywed fy ngeiriau.
3 Yna mi a euthum i wared i dŷ'r crochenydd, ac wele ef yn gwneuthur ei waith
† Neu, eisteddleoedd. ar † droellau.
4 A'r llestr yr hwn yr oedd efe yn ei
‡ Neu, a ddifwynwyd megis clai yn llaw y crochenydd. wneuthur ‡ o glai, a ddifwynwyd yn llaw'r
crochenydd; felly efe § a'i gwnaeth ef
drachefn yn llestr arall, fel y gwelodd y
crochenydd yn dda ei wneuthur *ef*.
5 Yna y daeth gair yr ARGLWYDD attaf,
gan ddywedyd,
§ Heb. a ddychwelodd ac a'i gwnaeth yn llestr, &c. 6 ᵃ Oni allaf fi, fel y crochenydd hwn,
wneuthur i chwi, tŷ Israel? medd yr ARGLWYDD. Wele, ᵇ megis ag *y mae*'r clai yn
llaw'r crochenydd, felly'r *ydych* chwithau
yn fy llaw i, tŷ Israel.
ᵃ Esay 45. 9. 7 Pa bryd bynnag y dywedwyf am
ᶜ ddiwreiddio, a thynnu i lawr, a difetha
Doeth. 15. 7. cenedl neu frenhiniaeth;
Rhuf. 9. 20. 8 ᵈ Os y genedl honno y dywedais yn ei
ᵇ Esay 64. 8. herbyn a dry oddi wrth ei drygioni, ᵉ myfi a
edifarhâf am y drwg a amcenais ei wneuthur
ᶜ Pen. 1. 10. iddi.
9 *A pha* bryd bynnag y dywedwyf am
ᵈ Ezec. 18. 21. a 33. 11. adeiladu, ac am blannu cenedl neu frenhiniaeth;
ᵉ Ioan 3. 10. 10 Os hi a wna ddrygioni yn fy ngolwg,
heb wrando ar fy llais, minnau a edifarhâf
am y daioni â'r hwn y dywedais y gwnawn
les iddi.
11 ¶ Yn awr gan hynny, attolwg, dywed wrth wŷr Judah, ac wrth breswylwŷr
Jerusalem, gan ddywedyd, Fel hyn y
dywed yr ARGLWYDD, Wele fi'n llunio
drwg i'ch erbyn, ac yn dychymygu dychymmyg i'ch erbyn: ᶠ dychwelwch yr ᶠ 2 Bren. 17. 13.
awr hon bob un o'i ffordd ddrwg, a gwnewch eich ffyrdd a'ch gweithredoedd yn dda. Pen. 7. 3. a 25. 5. a 26. 13. a 35. 15.
12 Hwythau a ddywedasant, ᵍ Nid oes
obaith; *ond* ar ol ein dychymygion ein hunain yr awn, a gwnawn bob un amcan ei ᵍ Pen. 2. 25.
ddrwg galon ei hun.
13 Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, ʰ Gofynwch, attolwg, ym mysg ʰ Pen. 2. 10.
y cenhedloedd, pwy a glywodd y cyfryw
bethau? Gwnaeth y forwyn Israel beth ¹ Cor. 5. 1.
erchyll iawn.
14 A wrthyd *dyn* ‖ eira Libanus, *yr hwn* ‖ Neu, fy meusydd am graig, neu, am eira Libanus? a wrthodir y dyfroedd rhedegog, am y dyfroedd dieithr oerion?
*sydd yn dyfod* o graig y maes? *neu* a wrthodir y dyfroedd oerion rhedegog sydd yn
dyfod o le arall?
15 O herwydd ⁱ i'm pobl fy anghofio i,
*hwy* a arogl-darthasant i wagedd, ac a
wnaethant iddynt dramgwyddo yn eu ffyrdd,
*allan* o'r ᵏ hen lwybrau, i gerdded llwybrau
ffordd ddisathr;
16 I wneuthur eu tir ˡ yn anghyfannedd,
*ac* yn chwibaniad byth: pob un a elo heibio ˡ Pen. 2. 15. 22. a 3. 21. a 13. 25. a 17. 13.
iddo a synna, ac a ysgwyd ei ben.
17 ᵐ Megis â gwynt y dwyrain ⁿ y
chwalaf hwynt o flaen y gelyn; *fy* ngwegil ᵏ Pen. 6. 16.
ac nid *fy* wyneb a ddangosaf iddynt yn amser eu dialedd. ˡ Pen. 19. 8. a 49. 13. a 50. 13.
18 ¶ Yna y dywedasant, ᵒ Deuwch a
dychymygwn ddychymygion yn erbyn Jeremi; ᵖ canys ni chyll y gyfraith gan yr ᵐ Psal. 48. 7.
offeiriad, na chyngor gan y doeth, na'r ⁿ Pen. 13. 24.
gair gan y prophwyd: deuwch, tarâwn
ef † â'r tafod, ac nac ystyriwn yr un o'i eiriau ᵒ Pen. 11. 19.
ef.
19 Ystyria di wrthyf, O ARGLWYDD, a ᵖ Mal. 2. 7. Ioan 7. 48, 49.
chlyw lais y rhai sydd yn ymryson â mi.
20 A delir drwg dros dda? canys cloddiasant ffos i'm henaid: cofia i mi sefyll ger † Neu, am y tafod.
dy fron di i ddywedyd daioni drostynt, *ac*
i droi dy ddig oddi wrthynt.
21 Am hynny ᵠ dyro eu plant hwy i fynu ᵠ Psal. 109. 10.
i'r newyn, a thywallt eu *gwaed* hwynt trwy
‡ nerth y cleddyf; a bydded eu gwragedd ‡ Heb. ddwylaw.
heb eu plant, ac yn weddwon; ◆ lladder hefyd eu gwŷr yn feirw, *a* tharawer eu gwŷr
ieuainge â'r cleddyf yn y rhyfel.
22 Clywer eu gwaedd o'u tai, pan ddygech fyddin arnynt yn ddisymmwth; canys
cloddiasant ffos i'm dal, a chuddiasant faglau i'm traed.
23 Tithau, O ARGLWYDD, a wyddost eu
holl gyngor hwynt i'm herbyn § i'm lladd i: § Heb. i farwolaeth.
ʳ na fadden eu hanwiredd, ac na ddilea eu
pechodau o'th ŵydd; eithr byddant dramgwyddedig ger dy fron; gwna *hyn* iddynt ʳ Pen. 4. 5.
yn amser dy ddigofaint.

## PEN. XIX.

1 *Dan rith torri llestr crochenydd, y mae'n rhag-ddangos distryw'r Iuddewon am eu pechodau.* Gorph. 27. B.

FEL hyn y dywed yr ARGLWYDD; Dos, Cylch 605.
a chais ystên bridd y crochenydd, a
*chymmer* o henuriaid y bobl ac o henuriaid
yr offeiriaid,
2 A dos allan i ddyffryn mab Hinnom, yr
hwn *sydd* wrth ddrws porth † y dwyrain, † Heb. yr haul.
a chyhoedda yno y geiriau a ddywedwyf
wrthyt;
3 A dywed, Brenhinoedd Judah, a phreswylwŷr Jerusalem, clywch air yr AR-

GLWYDD: Fel hyn y dywed ARGLWYDD y
lluoedd, Duw Israel; Wele fi yn dwyn ar
a 1 Sam. 3. 11. y lle hwn ddrwg, [a] yr hwn pwy bynnag a'i
2 Bren. 21. 12. clywo, ei glustiau a ferwinant.
4 Am iddynt [b] fy ngwrthod i, a dieithrio'r
b Esay 65. 11. lle hwn, ac arogl-darthu ynddo i dduwiau
dïeithr, y rhai nid adwaenent hwy, na'u
Pen. 2. 13, 17, 19. a 15. 6. a 17. 13. tadau, na brenhinoedd Judah, a llenwi o
honynt y lle hwn o waed gwirioniaid;
5 Adeiladasant hefyd uchelfeydd Baal, i
losgi eu meibion â than *yn* boeth-offrym-
c Pen. 7. 31, 32. mau i Baal; [c] yr hyn ni orchymynais, ac ni
ddywedais, ac ni feddyliodd fy nghalon:
6 Am hynny wele'r dyddiau'n dyfod,
medd yr ARGLWYDD, pryd na elwir y lle
hwn mwyach Tophet, na Dyffryn mab Hin-
nom, ond Dyffryn y lladdfa.
7 A mi a wnaf yn ofer gyngor Judah a
Jerusalem yn y lle hwn, a pharaf iddynt
syrthio gan y cleddyf o flaen eu gelynion,
a thrwy law y rhai a geisiant eu heinioes
d Pen. 7. 33. a 16. 4. a 34. 20. hwy: [d] rhoddaf hefyd eu celaneddau hwynt
yn fwyd i ehediaid y nefoedd, ac i anifeiliaid
y ddaear.
e Pen. 18. 16. a 49. 13. a 50. 13. 8 A [e] mi a wnaf y ddinas hon yn anghyf-
annedd, ac yn ffiaidd; pob un a elo heibio
iddi a synna ac a chwibana, o herwydd ei
holl ddïaleddau hi.
f Lef. 26. 29. Deut. 28. 53. Galar. 4. 10. 9 A mi a baraf iddynt [f] fwytta cnawd eu
meibion, a chnawd eu merched, bwyttânt
hefyd bob un gnawd ei gyfaill, yn y gwar-
chae a'r cyfyngder, â'r hwn y cyfynga eu
gelynion, a'r rhai sy'n ceisio eu heinioes,
arnynt.
10 Yna y torri'r ystên yngŵydd y gwŷr
a êl gyd â thi;
11 Ac y dywedi wrthynt, Fel hyn y dywed
g Esay 30. 14. ARGLWYDD y lluoedd, [g] Yn y modd hwn
Galar. 4. 2. y drylliaf y bobl hyn, a'r ddinas hon, fel
y dryllia *un* lestr pridd, yr hwn ni ellir ei
† Heb. *feddyginiaethu.* † gyfannu mwyach; ac yn [h] Tophet y
cleddir *hwynt,* o eisiau lle i gladdu.
h Pen. 7. 32. 12 Fel hyn y gwnaf i'r lle hwn, medd
yr ARGLWYDD, ac i'r rhai sy'n trigo
ynddo; a mi a wnaf y ddinas hon megis
Tophet.
13 A thai Jerusalem, a thai brenhinoedd
Judah, a fyddant halogedig fel mangre
i 2 Bren. 23. 12. Tophet; o herwydd yr holl [i] dai y rhai yr
Pen. 32. 29. arogl-darthasant ar eu pennau i holl lu y
k Pen. 7. 18. nefoedd, ac [k] y tywalltasant ddïod-offrym-
mau i dduwiau dïeithr.
14 Yna y daeth Jeremi o Tophet, lle'r
anfonasai'r ARGLWYDD ef i brophwydo,
ac a safodd ynghyntedd tŷ'r ARGLWYDD,
ac a ddywedodd wrth yr holl bobl,
15 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y
lluoedd, Duw Israel; Wele fi yn dwyn
ar y ddinas hon, ac ar ei holl drefydd, yr
holl ddrygau a leferais i'w herbyn, am
l Pen. 17. 23. [l] galedu o honynt eu gwarrau, rhag gwran-
do fy ngeiriau.

## PEN. XX.

Gorph. 27. P. 1 *Pasur yn taro Jeremi, ac yn cael enw ne-*
*wydd, a barn ofnadwy.* 7 *Jeremi yn achwyn*
*rhag dirmyg* 10 *a bradwriaeth,* 14 *ac yn*
*cwyno ei eni.*

Cylch 605. PAN glybu Pasur mab [a] Immer yr offei-
a 1 Chron. 24. 14. riad, yr hwn *oedd* yn ben-llywodraethwr
yn nhŷ'r ARGLWYDD, i Jeremi brophwy-
do'r geiriau hyn;
2 Yna Pasur a darawodd Jeremi y pro-
† cyffion. phwyd, ac a'i rhoddodd ef yn y † carchar
*oedd* yn y porth uchaf i Benjamin, yr hwn
*oedd* wrth dŷ'r ARGLWYDD.

3 A thrannoeth Pasur a ddug Jeremi allan
o'r ‡ carchar. Yna Jeremi a ddywedodd ‡ *cyffion.*
wrtho ef, Ni alwodd yr ARGLWYDD dy enw
di Pasur, ond § Magor-missabib. § Sef,
4 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; *Dychryn o*
Wele fi yn dy wneuthur di yn ddychryn i *amgylch,*
ti dy hun, ac i'r rhai oll a'th garant; a hwy Pen. 6. 25. a 46. 5.
a syrthiant ar gleddyf eu gelynion, a'th
lygaid di yn gweled: rhoddaf hefyd holl
Judah yn llaw brenhin Babilon, ac efe a'u
caeth-gluda hwynt i Babilon, ac a'u lladd
hwynt â'r cleddyf.
5 [b] Rhoddaf hefyd holl olud y ddinas hon, b 2 Bren.
a'i holl lafur, a phob dim a'r y sydd werth- 20. 17.
fawr ganddi, a holl drysorau brenhinoedd
Judah a roddaf fi yn llaw eu gelynion, y rhai
a'u hanrheithiant hwynt, ac a'u cymmerant,
ac a'u dygant i Babilon.
6 A thithau, Pasur, a phawb a'r sydd yn
trigo yn dy dŷ, a ewch i gaethiwed; a thi
a ddeui i Babilon, ac yno y byddi farw,
ac yno y'th gleddir, ti, a'r rhai oll a'th
garant, y rhai y prophwydaist iddynt yn
gelwyddog.
7 ¶ O ARGLWYDD, ti a'm hudaist, a mi
‖ a hudwyd: cryfach oeddit nâ mi, a gorch- ‖ Neu,
fygaist: yr ydwyf yn watwargerdd ar hŷd y *a ddenwyd.*
dydd, pob un sydd yn fy ngwatwar.
8 Canys er pan leferais, mi a waeddais,
trais ac anrhaith a lefais; am fod gair yr
ARGLWYDD yn waradwydd ac yn watwar-
gerdd i mi beunydd.
9 Yna y dywedais, Ni soniaf am dano
ef, ac ni lefaraf yn ei enw ef mwyach:
ond [c] *ei air* ef oedd yn fy nghalon yn c Job 32.
llosgi fel tân, wedi ei gau o fewn fy esgyrn, 18, 19. Psal. 39. 3.
a mi a flinais yn ymattal, ac [d] ni allwn d Job 32.
*beidio.* 18.
10 ¶ [e] Canys clywais ogan llawer, dy- e Psal. 31.
chryn o amgylch: Mynegwch, *meddant,* 13.
a ninnau a'i mynegwn: [f] pob dyn † heddy- f Job 19.
chol â mi *oedd* yn disgwyl i mi gloffi, 19.
*gan ddywedyd,* Ysgatfydd efe a hudir, Psal. 41. 9. a 55. 13, 14.
a ni a'i gorchfygwn ef, ac a ymddïalwn † Heb.
arno. *fy heddwch.*
11 Ond yr ARGLWYDD *oedd* gyd â mi
fel un cadarn ofnadwy: am hynny [g] fy g Pen. 15.
erlidwŷr a dramgwyddant, ac ni orchfy- 20. a 17. 18.
gant; gwaradwyddir hwynt yn ddirfawr,
canys ni lwyddant: nid anghofir *eu* [h] gwarth h Pen. 23.
tragywyddol byth. 40.
12 Ond tydi, ARGLWYDD y lluoedd, yr
hwn wyt [i] yn profi'r cyfiawn, yn gweled i Pen. 11.
yr arennau a'r galon, gâd i mi weled dy 20. a 17. 10.
ddïaledd arnynt: canys i ti y datguddiais
fy nghwyn.
13 Cenwch i'r ARGLWYDD, moliennwch
yr ARGLWYDD: canys efe a achubodd enaid
y tlawd o law y drygionus.
14 ¶ [k] Melldigedig *fyddo*'r dydd y'm k Job 3. 3.
ganwyd arno: na fendiger y dydd y'm Pen. 15. 10.
hesgorodd fy mam.
15 Melldigedig *fyddo*'r gwr a fynegodd
i'm tad, gan ddywedyd, Ganwyd i ti blentyn
gwrryw; gan ei lawenychu ef yn fawr.
16 A bydded y gwr hwnnw fel y dinas-
oedd [l] a ymchwelodd yr ARGLWYDD, ac l Gen. 19.
ni bu edifar ganddo: a chlywed efe glywed 25.
gwaedd y bore, a bloedd bryd hanner
dydd:
17 Am na laddodd fi *wrth ddyfod* o'r
groth; neu na buasai fy mam yn fedd i mi,
a'i chroth yn feichiog *arnaf* byth.
18 [m] Pa ham y deuthum i allan o'r groth, m Job 3.
i weled poen a gofid, fel y darfyddai fy 20.
nyddiau mewn gwarth?

## PEN. XXI.

Gorph. 28. B. 1 *Sedeciah yn anfon at Jeremi i ymofyn pa beth a ddigwyddai o ryfel Nebuchodonosor. 3 Jeremi yn darogan gwarchae tost, a chaethiwed gofidus. 8 y mae'n cynghori'r bobl i droi at y Caldeaid; 11 ac yn edliw i dŷ'r brenhin.*

Cylch 589. Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi
wrth yr ARGLWYDD, pan anfonodd y
brenhin Sedeciah atto ef Pasur fab Mel-
chiah, a Sephaniah fab Maaseiah yr offei-
riad, gan ddywedyd,
2 Ymofyn, attolwg, â'r ARGLWYDD dro-
som ni (canys y mae Nebuchodonosor bren-
hin Babilon yn rhyfela yn ein herbyn ni)
i edrych a wna'r ARGLWYDD â ni yn ol ei
holl ryfeddodau, fel yr elo efe i fynu oddi
wrthym ni.
3 ¶ Yna y dywedodd Jeremi wrthynt,
Fel hyn y dywedwch wrth Sedeciah;
4 Fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW
Israel, Wele fi yn troi yn eu hol yr arfau
rhyfel *sy* yn eich dwylaw, y rhai yr ydych
yn ymladd â hwynt yn erbyn brenhin Ba-
bilon, ac *yn erbyn* y Caldeaid, y rhai sydd
yn gwarchae arnoch o'r tu allan i'r gaer,
a mi a'u casglaf hwynt i ganol y ddinas
hon.
[a] Exod. 6. 6. 5 A mi fy hun a ryfelaf i'ch erbyn [a] â
llaw estynedig, ac â braich cryf, mewn
sorriant, a llid, a digofaint mawr.
6 Tarawaf hefyd drigolion y ddinas hon,
yn ddyn, ac yn anifail: byddant feirw o
haint mawr.
7 Ac wedi hynny, medd yr ARGLWYDD,
[b] Pen. 39. 5. a 52. 5. [b] y rhoddaf Sedeciah frenhin Judah, a'i
weision, a'r bobl, a'r *rhai* a weddillir yn y
ddinas hon, gan yr haint, gan y cleddyf,
a chan y newyn, i law Nebuchodonosor
brenhin Babilon, ac i law eu gelynion, ac
i law y rhai sydd yn ceisio eu heinioes: ac
efe a'u tery hwynt â min y cleddyf; ni
thosturia wrthynt, ac nid erbyd, ac ni
chymmer drugaredd.
8 ¶ Ac wrth y bobl hyn y dywedi, Fel
hyn y dywed yr ARGLWYDD; Wele fi yn
rhoddi ger eich bron ffordd einioes, a ffordd
angau.
[c] Pen. 38. 2. 9 [c] Yr hwn a drigo yn y ddinas hon a
leddir gan y cleddyf, a chan y newyn, a
chan yr haint; ond y neb a elo allan, ac a
gilio at y Caldeaid, y rhai sydd yn gwarchae
[d] Pen. 39. 18. a 45. 5. arnoch, a fydd byw, [d] a'i einioes fydd yn
ysglyfaeth iddo.
10 Canys mi a osodais fy wyneb yn erbyn
y ddinas hon, er drwg, ac nid er da, medd
yr ARGLWYDD: yn llaw brenhin Babilon y
rhoddir hi, ac efe a'i llysg hi â thân.
609. 11 ¶ Ac am dŷ brenhin Judah, *dywed*,
Gwrandewch air yr ARGLWYDD.
12 O tŷ Ddafydd, fel hyn y dywed yr
[e] Pen. 22. 3. ARGLWYDD; [e] Bernwch uniondeb y bore,
ac achubwch y gorthrymmedig o law'r gorth-
rymmwr, rhag i'm llid dorri allan fel tân, a
llosgi fel na allo neb ei diffodd, o herwydd
drygioni eich gweithredoedd.
13 Wele fi yn dy erbyn, yr hon wyt yn
preswylio'r dyffryn, a chraig y gwastadedd,
medd yr ARGLWYDD; y rhai a ddywedwch,
Pwy a ddaw i waered i'n herbyn? neu, Pwy
a ddaw i'n hanneddau?
14 Ond mi a ymwelaf â chwi yn ol
[f] Diar. 1. 31. [f] ffrwyth eich gweithredoedd, medd yr
ARGLWYDD; a mi a gynneuaf dân yn ei
choedwig, ac efe a ysa bob dim o'i hamgylch
hi.

## PEN. XXII.

1 *Y mae yn annog i edifeirwch, trwy addewidion a bygythion. 10 Barn Salum, 13 Jehoiacim, 20 a Choniah.* Gorph. 28. P. Sul 14 ar ol y Drindod, P

FEL hyn y dywed yr ARGLWYDD, Dos
di i waered i dŷ brenhin Judah, a llefara 609
yno y gair hwn;
2 A dywed, Gwrando air yr ARGLWYDD,
frenhin Judah, yr hwn wyt yn eistedd ar
frenhin-fainge Dafydd, ti, a'th weision, a'th
bobl y rhai sydd yn dyfod i mewn trwy'r
pyrth hyn:
3 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
[a] Gwnewch farn a chyfiawnder, a gwared- [a] Pen. 21. 12.
wch y gorthrymmedig o law'r gorthrymwr:
na wnewch gam, ac na threisiwch y dieithr,
yr amddifad, na'r weddw, ac na thywellt-
wch waed gwirion yn y lle hwn.
4 Canys [b] os gan wneuthur y gwnewch y [b] Pen. 17. 25.
peth hyn, daw trwy byrth y tŷ hwn frenhin-
oedd yn eistedd † ar deyrn-gadair Dafydd, † Heb. *tros Ddafydd ar ei deyrn-gadair ef.*
yn marchogaeth mewn cerbydau, ac ar
feirch, efe a'i weision, a'i bobl.
5 Eithr oni wrandewch y geiriau hyn, i
mi fy hun y tyngaf, medd yr ARGLWYDD,
y bydd y tŷ hwn yn anghyfannedd.
6 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
am dŷ brenhin Judah; Gilead *wyt* i mi, *a*
phen Libanus: *etto* yn ddiau mi a'th wnaf
yn ddiffaethwch, *ac* yn ddinasoedd anghyf-
anneddol.
7 Parottoaf hefyd i'th erbyn anrheith-
wŷr, pob un â'i arfau; a hwy a dorrant [c] dy [c] Pen. 21. 14.
ddewis gedrwŷdd, ac a'*u* bwriant i'r tân.
8 A chenhedloedd lawer a ant heb law y
ddinas hon, ac a ddywedant bob un wrth
ei gilydd, [d] Pa ham y gwnaeth yr AR- [d] Deut. 29. 24. 1 Bren. 9. 8.
GLWYDD fel hyn i'r ddinas fawr hon?
9 Yna'r attebant, Am iddynt ymwrthod â
chyfammod yr ARGLWYDD eu DUW, ac ad-
doli duwiau dieithr, a'u gwasanaethu hwynt.
10 ¶ Nac wylwch dros y marw, ac na
ymofidiwch am dano, *ond* gan wylo wylwch
am yr hwn sydd yn myned ymaith: canys
ni ddychwel mwyach, ac ni wêl wlad ei
enedigaeth.
11 Canys fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD am Salum fab Josiah brenhin Ju-
dah, yr hwn a deyrnasodd yn lle Josiah ei
dad, yr hwn a aeth allan o'r lle hwn; Ni
ddychwel efe yno mwyach.
12 [e] Eithr yn y lle y caeth-gludasant ef [e] 2 Bren. 23. 34.
iddo, yno y bydd efe marw; ac ni wêl efe'r Ada. 17.
wlad hon mwyach.
13 ¶ Gwae'r [f] hwn a adeilado ei dŷ trwy [f] Lef. 19. 13.
anghyfiawnder, a'i 'stafellau trwy gam: Deut. 24.
gan beri i'w gymmydog ei wasanaethu yn 14, 15.
rhad, ac heb roddi iddo am ei waith: Mich. 3. 10.
14 Yr hwn a ddywed, Mi a adeiladaf i Hab. 2. 9.
mi dŷ ehang, a 'stafellau helaeth; ac a nadd
iddo ‡ ffenestri, a llofft o gedrwŷdd, wedi ‡ Neu, *fy ffenestri.*
ei lliwio â § fermilion. § *sinobl.*
15 A gei di deyrnasu, am i ti ymgau
mewn cedrwŷdd? oni fwyttaodd ac oni
yfodd dy dad, ac oni wnaeth efe farn a
chyfiawnder, *ac* yna *y bu* dda iddo?
16 Efe a farnodd gwyn y tlawd a'r ang-
henus; yna y llwyddodd: onid fy adnabod
i *oedd* hyn? medd yr ARGLWYDD.
17 Er hynny dy lygaid di a'th galon nid
*ydynt* ond ar dy gybydd-dod, ac ar dywallt
gwaed gwirion, ac ar wneuthur trais, || a || Neu, *ac ymgyrch.*
cham.
18 Am hynny fel hyn y dywed yr
ARGLWYDD am Jehoiacim fab Josiah
frenhin Judah, Ni alarant am dano, *gan ddy-*

*wedyd*, O fy mrawd! neu, O fy chwaer! ni
Cyflawn- alarant am dano ef, *gan ddywedyd*, Oh ior!
wyd neu, Oh ei ogoniant ef!
599. 19 g A chladdedigaeth asyn y cleddir ef,
g Pen. 36. wedi ei lusgo a'i daflu tu hwnt i byrth Jeru-
30. 2 Chron. salem.
36. 6. 20 ¶ Dring i Libanus, a gwaedda: cyfod
599. dy lef yn Basan, a bloeddia o'r † bylchau:
† *rhydau.* canys dinystriwyd y rhai oll a'th garant.
h Pen. 7. 21 Dywedais wrthyt pan oedd esmwyth
23, &c. arnat: tithau a ddywedaist, Ni wrandawaf.
h Dyma dy arfer o'th ieuengctid, na wrande-
waist ar fy llais.
22 A gwŷnt a ysa dy holl fugeiliaid, a'th
gariadau a ant i gaethiwed: yna y'th gywi-
lyddir, ac y'th waradwyddir am dy holl
ddrygioni.
23 Ti yr hon wyt yn trigo yn Libanus, yn
nythu yn y cedrwŷdd, mor hawddgar fyddi
pan ddelo gwewyr arnat, *fel* cnofeydd
gwraig yn esgor?
24 *Fel mai* byw fi, medd yr ARGLWYDD,
i Edrych pe byddai i Coniah mab Jehoiacim brenhin
2 Bren. 24. 6. Judah k yn fodrwy ar fy neheulaw, dïau y
tynnwn di oddi yno:
k Can. 8. 6. 25 A mi a'th roddaf di yn llaw y rhai
Hag. 2. 23. sy 'n ceisio dy einioes, ac yn llaw y rhai y
mae arnat ofn eu hwynebau, sef i law Ne-
buchodonosor brenhin Babilon, ac i law 'r
Caldeaid.
26 Bwriaf dithau hefyd, a'th fam a'th
esgorodd, i wlad ddïeithr, yr hon ni'ch
ganwyd ynddi, ac yno y byddwch farw.
‡ Heb. 27 Ond i'r wlad ‡ y bydd arnynt hiraeth
*y dyrchafant eu* am ddychwelyd iddi, ni ddychwelant yno.
*meddyl-* 28 Ai delw ddirmygus ddrylliedig *yw* y
*iau.* gwr hwn Coniah? ai l llestr *yw* heb hoffder
l Pen. 48. ynddo? pa ham y bwriwyd hwynt ymaith,
38. Hos. 8. 8. efe a'i had, ac y taflwyd hwynt i wlad nid
adwaenant?
29 O ddaear, ddaear, ddaear, gwrando
air yr ARGLWYDD.
30 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
Ysgrifenwch y gwr hwn yn ddiblant, gwr
ni ffynna yn ei ddyddiau: canys ni ffynna
o'i had ef un a eisteddo ar orseddfa Dafydd,
nac a lywodraetho mwyach yn Judah.

## PEN. XXIII.

Gorph. 29. B. 1 *Y mae n prophwydo'r adferir y praidd gwasgaredig: 5 yn dangos y teyrnasa Crist, ac y gwared efe hwy. 9 Yn erbyn gau-brophwydi, 33 a gwatworwŷr y gwir brophwydi.*

599. a GWAE'r bugeiliaid sydd yn difetha ac
a Pen. 10. yn gwasgaru defaid fy mhorfa, medd
21. Ezec. 34. 2. yr ARGLWYDD.
2 Am hynny fel hyn y dywed AR-
GLWYDD DDUW Israel yn erbyn y bu-
geiliaid sydd yn bugeilio fy mhobl, Chwi a
wasgarasoch fy nefaid, ac a'u hymlidiasoch,
ac nid ymwelsoch â hwynt: wele fi yn
ymweled â chwi, am ddrygioni eich gweith-
redoedd, medd yr ARGLWYDD.
3 A mi a gasglaf weddill fy nefaid o'r holl
wledydd lle y gyrrais hwynt, a mi a'u dygaf
b Pen. 3. hwynt drachefn i'w corlannau; yna yr aml-
15. Ezec. 34. hânt ac y 'chwanegant.
11, &c. 4 b Gosodaf hefyd arnynt fugeiliaid, y
c Esay 4. 2. rhai a'u bugeilia hwynt; ac nid ofnant
a 11. 1. a mwyach, ac ni ddychrynant, ac ni byddant
40. 11. yn eisiau, medd yr ARGLWYDD.
Pen. 33. 14, 15. 5 ¶ Wele 'r c dyddiau 'n dyfod, medd yr
Dan. 9. 24. ARGLWYDD, y cyfodaf i Ddafydd Flaguryn
Zech. 3. 8. cyfiawn, a Brenhin a deyrnasa ac a lwydda,
a 6. 12. Ioan 1. 45. ac a wna farn a chyfiawnder ar y ddaear.

6 d Yn ei ddyddiau ef yr achubir Judah, d Deut. 33.
a Israel a breswylia yn ddiogel: a e hyn 28.
*fydd* ei enw *ar* yr hwn y gelwir ef, † YR e Edrych Pen. 33. 16.
ARGLWYDD EIN CYFIAWNDER. 1 Cor. 1.
7 f Am hynny wele 'r dyddiau 'n dyfod, 30.
medd yr ARGLWYDD, pryd na ddywedant † Heb.
mwyach, Byw yw'r ARGLWYDD, yr hwn *Jehofah-tsidkenu.*
a ddug feibion Israel i fynu o wlad yr f Pen. 16.
Aipht: 14, 15.
8 Eithr, Byw yw'r ARGLWYDD, yr
hwn a ddug i fynu, ac a dywysodd had tŷ
Israel o dir y gogledd, ac o bob gwlad lle y
gyrraswn i hwynt; a hwy a gânt aros yn eu
gwlad eu hun.
9 ¶ O herwydd y prophwydi y torrodd
fy nghalon ynof, fy holl esgyrn a grynant:
yr ydwyf fel un meddw, ac fel un wedi
i win ei orchfygu; o herwydd yr AR-
GLWYDD, ac o herwydd geiriau ei sanct-
eiddrwydd ef.
10 Canys g llawn yw'r ddaear o odineb- g Pen. 5. 7,
wŷr: canys o herwydd ‡ llwon y gofidiodd 8. a 9. 2.
y ddaear, ac h y sychodd tirion leoedd yr ‡ Neu, *melldithion.*
anialwch; a'u § helynt sydd ddrwg, a'u ca-
dernid nid *yw* uniawn. h Pen. 9.
11 Canys i y prophwyd a'r offeiriad he- 10. a 12. 4.
fyd a ragrithiasant: k yn fy nhŷ hefyd y § Neu,
cefais eu drygioni hwynt, medd yr AR- *trawsder.*
GLWYDD. i Pen. 6. 13
12 Am hynny l y bydd eu ffordd yn lli- a 8. 10. Seph. 3. 4.
thrig iddynt yn y tywyllwch; gyrrir hwynt k Pen. 11.
rhagddynt, a syrthiant ynddi: canys myfi 15.
a ddygaf arnynt ddrygfyd, *sef* blwyddyn Ezec. 8. 11.
eu gofwy, medd yr ARGLWYDD. a 23. 39.
13 Ar brophwydi Samaria y gwelais he- l Psal. 35. 6. Diar. 4. 19.
fyd beth ‖ diflas: prophwydasant yn Baal, Pen. 13. 16.
a hudasant fy mhobl Israel. ‖ Neu,
14 Ac ar brophwydi Jerusalem y gwelais *diresum.*
† beth erchyll: m torri priodas, a rhodio † Neu,
mewn celwydd: cynnorthwyant hefyd ddwy- *frynti.*
law y drygionus, fel na ddychwel neb m Pen. 29. 23.
oddi wrth ei ddrygioni: y mae y rhai hyn n Deut. 32.
oll i mi fel n Sodom, a'i thrigolion fel Go- 32.
morrah. Esay 1. 9, 10.
15 Am hynny fel hyn y dywed AR- o Pen. 8. 14.
GLWYDD y lluoedd am y prophwydi, Wele, a 9. 15.
o mi a'u bwydaf hwynt â'r wermod, ac a'u
diodaf hwynt â dwfr bustl: canys oddi
wrth brophwydi Jerusalem yr aeth ‡ lledrith ‡ Neu,
allan i'r holl dir. *anwiredd.*
16 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y
lluoedd; Na wrandêwch ar eiriau y pro-
phwydi sy 'n prophwydo i chwi: y maent
yn eich gwneuthur yn ofer: p gweledigaeth p Pen. 14.
eu calon eu hunain a lefarant, *ac* nid o 14.
enau 'r ARGLWYDD.
17 Gan ddywedyd y dywedant wrth fy
nirmygwŷr, Yr ARGLWYDD a ddywed-
odd, q Bydd i chwi heddwch; ac *wrth* q Pen. 6.
bob un sydd yn rhodio wrth § amcan ei 14. a 8. 11.
galon ei hun y dywedant, Ni ddaw arnoch Ezec. 13. 10.
niweid. Zech. 10. 2.
18 Canys r pwy a safodd ‖ ynghyfrinach § Neu,
yr ARGLWYDD, ac a welodd ac a glyw- *gyndynrwydd.*
odd ei air ef? pwy hefyd a ddaliodd ar ei r Job 15. 8.
air ef, ac a'i gwrandawodd? ‖ Neu.
19 s Wele, corwynt yr ARGLWYDD *a* *ynghyngor.*
*aeth allan mewn* llidiowgrwydd, sef corwŷnt
an-gerddol a syrth ar ben y drygionus. s Pen. 25.
20 t Digofaint yr ARGLWYDD ni ddy- 32. a 30. 23.
chwel, nes iddo wneuthur, a nes iddo gwbl- t Pen. 30.
hâu meddwl ei galon: yn y dyddiau di- 24.
waethaf y deallwch hynny yn eglur.
21 u Ni hebryngais i y prophwydi *hyn*, u Pen. 14.
etto hwy a redasant; ni leferais wrthynt, er 14. a 27. 15. a 29. 9.
hynny hwy a brophwydasant.

22 A phe safasent yn fy nghyngor, a phe
tracthasent fy ngeiriau i'm pobl; yna y
gwnaethent iddynt ddychwelyd o'u ffordd
ddrwg, ac oddi wrth ddrygioni eu gweith-
redoedd.
23 Ai Duw o agos *ydwyf* fi, medd yr
ARGLWYDD, ac nid Duw o bell?
[x] Psal. 139. 24 [x] A lecha un mewn dirgel-leoedd, fel
7, &c. na's gwelwyf fi ef? medd yr ARGLWYDD:
Amos 9. 2, y onid ydwyf fi yn llenwi'r nefoedd a'r
3. ddaear? medd yr ARGLWYDD.
[y] 1 Bren. 8. 25 Mi a glywais beth a ddywedodd y
27. prophwydi sydd yn prophwydo celwydd yn
Psal. 139. fy enw, gan ddywedyd, Breuddwydiais,
7. breuddwydiais.
26 Pa hyd y bydd *hyn* ynghalon y pro-
phwydi sydd yn prophwydo celwydd? ie
prophwydi hudoliaeth eu calon eu hunain
*ydynt.*
27 Y rhai sydd yn meddwl peri i'm pobl
anghofio fy enw trwy eu breuddwydion a
[z] Barn. 3. fynegant bob un i'w gymmydog; [z] fel yr
7. a 8. 33, anghofiodd eu tadau fy enw, er mwyn
34. Baal.
† Heb. 28 Y prophwyd sydd â breuddwyd † gan-
*gyd ag ef.* ddo, myneged freuddwyd; a'r hwn y mae
ganddo fy ngair, llefared fy ngair *mewn*
gwirionedd: beth *yw*'r us wrth y gwenith?
medd yr ARGLWYDD.
29 Onid *yw* fy ngair i megis tân? medd
yr ARGLWYDD; ac fel gordd yn dryllio'r
graig?
[a] Deut. 18. 30 Am hynny wele [a] fi yn erbyn y pro-
20. phwydi, medd yr ARGLWYDD, y rhai sy'n
Pen. 14. 14, lladratta fy ngeiriau, bob un oddi ar ei
15. gymmydog.
31 Wele fi yn erbyn y prophwydi, medd
yr ARGLWYDD, y rhai a lyfnhaant eu
tafodau, ac a ddywedant, Efe a ddywedodd.
32 Wele fi yn erbyn y rhai a brophwyd-
ant freuddwydion celwyddog, medd yr AR-
GLWYDD, ac a'u mynegant, ac a hudant
Seph. 3. fy mhobl â'u celwyddau, ac â'u [b] gwag-
4. edd, a mi heb eu gyrru hwynt, ac heb or-
chymyn iddynt: am hynny ni wnant ddim
lles i'r bobl hyn, medd yr ARGLWYDD.
33 ¶ A phan ofyno'r bobl hyn, neu y
prophwyd, neu yr offeiriad, i ti, gan ddy-
wedyd, Beth *yw* baich yr ARGLWYDD?
yna y dywedi wrthynt, Pa faich? eich
gwrthod a wnaf, medd yr ARGLWYDD.
34 A'r prophwyd, a'r offeiriad, a'r bobl,
y rhai a ddywedo, Baich yr ARGLWYDD,
myfi a ymwelaf â'r gwr hwnnw, ac â'i dŷ.
35 Fel hyn y dywedwch bob un wrth ei
gymmydog, a phob un wrth ei frawd, Beth
a attebodd yr ARGLWYDD? a pha beth a
lefarodd yr ARGLWYDD?
36 Ond am faich yr ARGLWYDD na
wnewch goffa mwyach; canys baich i bawb
fydd ei air ei hun: o herwydd chwychwi a
ŵyrasoch eiriau y Duw byw, ARGLWYDD
y lluoedd, ein Duw ni.
37 Fel hyn y dywedi wrth y prophwyd,
Pa atteb a roddodd yr ARGLWYDD i ti? a
pha beth a lefarodd yr ARGLWYDD?
38 Ond gan eich bod yn dywedyd, Baich
yr ARGLWYDD; am hynny fel hyn y dy-
wed yr ARGLWYDD, Am i chwi ddywed-
yd y gair hwn, Baich yr ARGLWYDD, a
mi wedi anfon attoch, gan ddywedyd, Na
ddywedwch, Baich yr ARGLWYDD:
39 Am hynny wele, myfi a'ch llwyr-
anghofiaf chwi, ac mi a'ch gadawaf chwi,
a'r ddinas yr hon a roddais i chwi ac i'ch
tadau, *ac a'ch bwriaf* allan o'm golwg.

40 A mi a roddaf arnoch [c] warthrudd [c] Pen. 20.
tragywyddol, a gwaradwydd tragywydd, yr 11.
hwn nid anghofir.

## PEN. XXIV.

1 *Dan rith ffigys da a drwg,* 4 *y mae yn* Gorph. 29.
*darogan yr adferid y rhai a aethai ung-* P.
*harthawed,* 8 *ac y distrywid Sedeciah a'r*
*llaill.*

YR ARGLWYDD a ddangosodd i mi, ac Cylch
wele ddau gawell o ffigys wedi eu gosod 598.
ar gyfer teml yr ARGLWYDD, wedi i [a] Ne- [a] 2 Bren.
buchodonosor brenhin Babilon gaeth-gludo 24. 12, &c.
[b] Jechoniah fab Jehoiacim brenhin Judah, 2 Chron. 36. 10.
a thywysogion Judah, gyd â'r seiri a'r gof- [b] Edrych
aint o Jerusalem, a'u dwyn i Babilon. Pen. 22. 24,
2 Un cawell *oedd* o ffigys da iawn, fel &c.
ffigys yr addfediad cyntaf: a'r cawell arall
*oedd* o ffigys drwg iawn, y rhai ni ellid eu
bwytta rhag eu drycced.
3 Yna y dywedodd yr ARGLWYDD
wrthyf, Beth a weli di, Jeremi? A mi a
ddywedais, Ffigys: y ffigys da, yn dda
iawn; a'r rhai drwg, yn ddrwg iawn, y rhai
ni ellir eu bwytta rhag eu drycced.
4 ¶ Yna y daeth gair yr ARGLWYDD at-
taf, gan ddywedyd,
5 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Duw
Israel, Fel y ffigys da hyn, felly y cydna-
byddaf fi gaeth-glud Judah, y rhai a anfo-
nais o'r lle hwn i wlad y Caldeaid er daioni.
6 Canys mi a osodaf fy ngolwg arnynt
er daioni, ac a'u dygaf drachefn i'r wlad
hon, ac [c] a'u hadeiladaf hwynt, ac ni thyn- [c] Pen. 33.
naf i lawr; plannaf hefyd hwynt, ac ni's di- 7. a 42. 10.
wreiddiaf. [d] Deut. 30. 6.
7 [d] Rhoddaf hefyd iddynt galon i'm Pen. 32. 39.
hadnabod, mai'r ARGLWYDD *ydwyf:* a Ezec. 11.
[e] hwy a fyddant yn bobl i mi, a minnau a 19. a 36. 26 27.
fyddaf yn DDUW iddynt hwy: canys hwy [e] Pen. 30.
a droant attaf fi â'u holl galon. 22. a 31. 33.
8 ¶ Ac [f] fel y ffigys drwg, y rhai ni ellir a 32. 38.
eu bwytta rhag eu drycced (diau fel hyn [f] Pen. 29.
y dywed yr ARGLWYDD) felly y rhoddaf 17.
Sedeciah frenhin Judah, a'i bennaethiaid, a [g] Edrych Pen. 43,
gweddill Jerusalem, y rhai a weddillwyd yn a 44.
y wlad hon, [g] a'r rhai sydd yn trigo yn nhir † Heb.
yr Aipht: *yn ymmudfa,*
9 Ië, rhoddaf hwynt † i'w [h] symmud i *neu, yn*
holl deyrnasoedd y ddaear, er drwg *iddynt,* *gynnwrf.*
i *fod* yn waradwydd ac yn ddiareb, yn [h] Deut. 28.
watwargerdd ac yn felldith, ym mhob man 25, 37.
lle y gyrrwyf hwynt. 1 Bren. 9. 7.
10 A mi a anfonaf arnynt y cleddyf, ne- 2 Chron. 7.
wyn, a haint, nes eu darfod oddi ar y ddaear 20.
yr hon a roddais iddynt ac i'w tadau. Pen. 15. 4.

## PEN. XXV.

1 *Jeremi yn argyoeddi'r Iuddewon am eu* Gorph. 30.
*hanufudd-dod i'r prophwydi;* 8 *yn rhag-* B.
*fynegi dengmlynedd a thrugain o gaethiwed,*
12 *a chwedi hynny, dinystr Babilon.* 15
*Dan rith y phiolaid win, y mae'n darogan*
*dinystr yr holl genhedloedd.* 34 *Udfa'r*
*bugeiliaid.*

Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi am O gylch
holl bobl Judah, † yn y bedwaredd 607, i
flwyddyn i Jehoiacim fab Josiah frenhin gylch
Judah, hon *oedd* y flwyddyn gyntaf i Ne- 606.
buchodonosor brenhin Babilon: † Pen. 36.
2 Yr hwn a lefarodd y prophwyd Jeremi 1.
wrth holl bobl Judah, ac wrth holl breswyl-
wŷr Jerusalem, gan ddywedyd,
3 Er y drydedd flwyddyn ar ddeg i Josiah O 629,
fab Amon frenhin Judah, hyd y dydd hwn, i 606.
(honno *yw* y drydedd flwyddyn ar hu-

gain) y daeth gair yr ARGLWYDD attaf, ac
mi a ddywedais wrthych, gan fore-godi a
llefaru, [a] ond ni wrandawsoch.
4 A'r ARGLWYDD a anfonodd attoch
chwi ei holl weision y prophwydi, [b] gan
fore-godi a'u hanfon; ond ni wrandaw-
soch, ac ni ogwyddasoch eich clust i
glywed.
5 Hwy a ddywedent, [c] Dychwelwch yr
awr hon bob un oddi wrth ei ffordd ddrwg,
ac oddi wrth ddrygioni eich gweithredoedd;
a thrigwch yn y tir a roddodd yr AR-
GLWYDD i chwi ac i'ch tadau, byth ac yn
dragywydd:
6 Ac nac ewch ar ol duwiau dïeithr, i'w
gwasanaethu, ac i ymgrymmu iddynt; ac
na lidiwch fi â gweithredoedd eich dwylaw,
ac ni wnaf niweid i chwi.
7 Er hynny ni wrandawsoch arnaf, medd
yr ARGLWYDD, fel y digiech fi â gweith-
redoedd eich dwylaw, er drwg i chwi eich
hunain.
8 ¶ Am hynny fel hyn y dywed AR-
GLWYDD y lluoedd, O herwydd na wrand-
awsoch ar fy ngeiriau,
9 Wele, mi a anfonaf ac a gymmeraf
[d] holl deuluoedd y gogledd, medd yr AR-
GLWYDD, a Nebuchodonosor brenhin Ba-
bilon [e] fy ngwas, a mi a'u dygaf hwynt yn
erbyn y wlad hon, ac yn erbyn ei phre-
swylwŷr, ac yn erbyn yr holl genhedl-
oedd hyn oddi amgylch; difrodaf hwynt
hefyd, a [f] gosodaf hwynt yn syndod, ac
yn chwibaniad, ac yn anrhaith tragy-
wyddol.
10 Paraf hefyd i [g] lais hyfrydwch, ac i
lais llawenydd, i lais y prïod-fab, ac i
lais y brïod-ferch, i swn y maeni melinau,
ac i lewyrch y canhwyllau, † ballu gan-
ddynt.
11 A'r holl dir hwn fydd yn ddiffaeth-
wch, *ac* yn syndod; a'r cenhedloedd hyn a
wasanaethant frenhin Babilon ddeng mlyn-
edd a thrugain.
12 A [h] phan gyflawner dengmlynedd a
thrugain, myfi a ymwelaf â brenhin Babi-
lon, ac â'r genedl honno, medd yr AR-
GLWYDD, am eu hanwiredd, ac â gwlad
y Caldeaid; a mi [i] a'i gwnaf hi yn anghyf-
annedd tragywyddol.
13 Dygaf hefyd ar y wlad honno fy holl
eiriau, y rhai a leferais i yn ei herbyn, *sef*
cwbl *ag sydd* ysgrifenedig yn y llyfr hwn;
yr hyn a brophwydodd Jeremi yn erbyn yr
holl genhedloedd.
14 Canys [k] cenhedloedd lawer a brenhin-
oedd mawrion a fynnant wasanaeth gan-
ddynt hwythau: a mi a dalaf iddynt yn ol
eu gweithredoedd, ac yn ol gwaith eu
dwylaw eu hun.
15 ¶ Canys fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD, Duw Israel, wrthyf fi, Cym-
mer [l] phïol win y digofaint yma o'm
llaw, a dod hi i'w hyfed i'r holl gen-
hedloedd y rhai yr wyf yn dy anfon at-
tynt.
16 A [m] hwy a yfant, ac a frawychant, ac
a wallgofant, o herwydd y cleddyf yr hwn
a anfonaf yn eu plith.
17 Yna mi a gymmerais y phïol o law'r
ARGLWYDD, ac a'i rhoddais i'w hyfed i'r
holl genhedloedd y rhai yr anfonasai'r AR-
GLWYDD fi attynt:
18 I Jerusalem, ac i ddinasoedd Judah, ac
i'w brenhinoedd, ac i'w thywysogion:
i'w gwneuthur hwynt yn ddiffaethwch,

[a] Pen. 11. 7, 8, 10. a 13. 10, 11. a 16. 12. a 17. 23. a 18. 12. a 19. 15. a 22. 21.
[b] Pen. 7. 13, 25. a 29. 19.
[c] 2 Bren. 17. 13. Pen. 18. 11. a 35. 15. Jonah 3. 8.
[d] Pen. 1. 15.
[e] Pen. 27. 6. a 43. 10. Edrych Esay 44. 28. a 45. 1. Pen. 40. 2.
[f] Pen. 18. 16.
[g] Esay 24. 7. Pen. 7. 34. a 16. 9. Ezec. 26. 13. Hos. 2. 11. Dat. 18. 23.
† Heb. *fethu*, neu, *golli.*
Dechreu cylch 606.
2 Bren. 24. 1.
Diweddu cylch 536.
Ezra 1. 1.
[h] 2 Chron. 36. 21, 22. Ezra 1. 1. Pen. 29. 10. Dan. 9. 2.
[i] Esay 13. 19. a 14. 23. a 21. 1. a 47. 1. Pen. 50. 40. a 51. 25.
[k] Pen. 27. 7.
[l] Job 21. 20. Psal. 75. 8. Esay 51. 17.
[m] Ezec. 23. 34. Nah. 3. 11.

yn syndod, yn chwibaniad, ac yn felldith,
(fel *y mae* heddyw)
19 [n] I Pharaoh frenhin yr Aipht, ac i'w
weision, ac i'w dywysogion, ac i'w holl
bobl;
20 Ac i'r holl bobl gymmysg, ac i holl
frenhinoedd gwlad Us, a [o] holl frenhinoedd
gwlad y Philistiaid, ac i Ascelon, ac Azzah,
ac Ecron, a [p] gweddill Asdod;
21 I [q] Edom, a [r] Moab, a meibion [s] Am-
mon;
22 I holl frenhinoedd [t] Tyrus hefyd, ac
i holl frenhinoedd Sidon, ac i frenhinoedd
‡ yr ynysoedd y rhai *sy* dros [u] y môr;
23 I [x] Dedan, a Thema, a Buz; ac i
bawb § o'r cyrrau eithaf:
24 Ac i holl frenhinoedd Arabia, ac i
holl frenhinoedd [y] y bobl gymmysg, y rhai
sydd yn trigo yn yr anialwch;
25 Ac i holl frenhinoedd Zimri, ac i holl
frenhinoedd [z] Elam, ac i holl frenhinoedd
y Mediaid;
26 Ac i holl frenhinoedd y gogledd, agos
a phell, bob un gyd â'u gilydd; ac i holl
deyrnasoedd y byd, y rhai sydd ar wyneb
y ddaear: a brenhin [a] Sesach a ŷf ar eu hol
hwynt.
27 A thi a ddywedi wrthynt, Fel hyn y
dywed ARGLWYDD y lluoedd, DUW Is-
rael, [b] Yfwch a [c] meddwch, a chwydwch a
syrthiwch, ac na chyfodwch, o herwydd y
cleddyf yr hwn a anfonwyf i'ch plith.
28 Ac os gwrthodant dderbyn y phïol
o'th law di i yfed, yna y dywedi wrthynt,
Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd,
Diau yr yfwch.
29 Canys wele [d] fi yn dechreu drygu'r
ddinas y gelwir fy enw arni, ac a ddïeng-
wch chwi yn ddigerydd? Na ddïengwch:
canys yr ydwyf fi yn galw am gleddyf ar
holl drigolion y ddaear, medd ARGLWYDD
y lluoedd.
30 Am hynny prophwyda yn eu herbyn
yr holl eiriau hyn, a dywed wrthynt, [e] Yr
ARGLWYDD oddi uchod a rua, ac a rydd
ei lef o drigle ei sancteiddrwydd; gan ruo
y rhua efe ar ei drigle, [f] bloedd fel rhai yn
sathru *grawnwin*, a rydd efe yn erbyn holl
breswylwŷr y ddaear.
31 Daw twrf hyd eithafoedd y ddaear;
canys *y mae* cwyn rhwng yr ARGLWYDD
a'r cenhedloedd: efe a ymddadleu â phob
cnawd, y drygionus a ddyry efe i'r cleddyf,
medd yr ARGLWYDD.
32 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y
lluoedd; Wele ddrwg yn myned allan o
genedl at genedl, a [g] chorwŷnt mawr yn
cyfodi o ystlysau'r ddaear.
33 A lladdedigion yr ARGLWYDD a fydd-
ant y dwthwn hwnnw o'r *naill* gwrr i'r
ddaear hyd y cwrr *arall* i'r ddaear: ni
[h] alerir drostynt, ac ni's cesglir, ac ni's
cleddir hwynt; fel tommen y byddant ar
wyneb y ddaear.
34 ¶ [i] Udwch, fugeiliaid, a gwaedd-
wch; ac ymdreiglwch mewn lludw, chwi
flaenoriaid y praidd: canys cyflawnwyd
|| dyddiau eich lladdedigaeth, a'ch gwas-
garfa; a chwi a syrthiwch fel llestr dy-
munol.
35 Metha gan y bugeiliaid ffoi, a chan
flaenoriaid y praidd ddïange.
36 *Clywir* llef gwaedd y bugeiliaid, ac
udfa blaenoriaid y praidd: canys yr
ARGLWYDD a anrheithiodd eu porfa
hwynt.

[n] Pen. 46.
[o] Pen. 47.
[p] Edrych Esay 20. 1.
[q] Pen. 49. 7, &c.
[r] Pen. 48.
[s] Pen. 49. 1.
[t] Pen. 47. 4.
‡ Neu, *y wlad sy ar lan y môr.*
[u] Pen. 49. 23.
[x] Pen. 49. 8, 28.
§ Heb. *a dorrwyd ymaith i gonglau.* Neu, *a dorrwyd cyrrau eu gwallt.* Pen. 9. 26.
[y] Pen. 49. 31. a 50. 37. Edrych adn. 20. Ezec. 30. 5.
[z] Pen. 49. 34.
[a] Pen. 51. 41.
[b] Hab. 2. 16.
[c] Esay 51. 21. a 63. 6.
[d] Diar. 11. 31. Pen. 49. 12. Ezec. 9. 6. Obad. 16. Luc 23. 31. 1 Petr 4. 17.
[e] Joel 3. 16. Amos 1. 2.
[f] Esay 16. 9. Pen. 48. 33.
[g] Pen. 23. 19. a 30. 23.
[h] Pen. 16. 4.
[i] Pen. 4. 8. a 6. 26.
|| Heb. *eich dyddiau i'ch lladdedigaeth.*

37 A'r anneddau heddychlon a ddryllir, gan lid digofaint yr ARGLWYDD.

38 Efe a wrthododd ei loches, fel cenaw llew: canys y mae eu tir yn † anghyfannedd, gan lid y gorthrymmwr, a chan lid ei ddigofaint ef.

† Heb. *anghyfanneddra.*

## PEN. XXVI.

Gorph. 30. P.

1 *Jeremi, trwy addewidion a bygythion, yn annog y bobl i edifeirwch: 8 a'i ddal ef am hynny, 10 a'i ddwyn ger bron. 12 Ei atteb ef drosto ei hun; 16 a'i farnu yn ddïeuog, trwy esampl Michah, 20 ac Uriah, 24 a thrwy ofal Ahicam.*

O 610 i 609.

YN nechreu teyrnasiad Jehoiacim fab Josiah brenhin Judah, y daeth y gair hwn oddi wrth yr ARGLWYDD, gan ddywedyd,

2 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Saf ynghynteddd tŷ 'r ARGLWYDD, a llefara wrth holl ddinasoedd Judah, y rhai a ddêl i addoli i dŷ 'r ARGLWYDD, yr holl eiriau a orchymynwyf i ti eu llefaru wrthynt; [a] na attal air:

[a] Act. 20. 27.

3 I edrych a wrandawant, ac a ddychwelant bob un o'i ffordd ddrwg; fel [b] yr edifarhawyf finnau am y drwg a amcenais ei wneuthur iddynt, am ddrygioni eu gweithredoedd.

[b] Pen. 18. 8.

4 A dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Oni wrandêwch arnaf i rodio yn fy nghyfraith, yr hon a roddais ger eich bron,

5 I wrando ar eiriau fy ngweision y prophwydi, [c] y rhai a anfonais attoch, gan godi yn fore, ac anfon, ond ni wrandawsoch chwi;

[c] Pen. 7. 13, 25. a 11. 7. a 25. 3.

6 Yna y gwnaf y tŷ hwn fel [d] Siloh, a'r ddinas hon a wnaf yn felldith i holl genhedloedd y ddaear.

[d] 1 Sam. 4. 12. Psal. 78. 60. Pen. 7. 12, 14.

7 Yr offeiriaid hefyd, a'r prophwydi, a'r holl bobl a glywsant Jeremi yn llefaru 'r geiriau hyn yn nhŷ yr ARGLWYDD.

8 ¶ A phan ddarfu i Jeremi lefaru 'r hyn oll a orchymynasai 'r ARGLWYDD ei ddywedyd wrth yr holl bobl; yna 'r offeiriaid, a'r prophwydi, a'r holl bobl a'i daliasant ef, gan ddywedyd, Ti a fyddi farw yn ddiau.

9 Pa ham y prophwydaist yn enw 'r ARGLWYDD, gan ddywedyd, Fel Siloh y bydd y tŷ hwn, a'r ddinas hon a wneir yn anghyfannedd heb breswyliwr? Felly ymgasglodd yr holl bobl yn erbyn Jeremi yn nhŷ yr ARGLWYDD.

10 ¶ Pan glybu tywysogion Judah y geiriau hyn, yna hwy a ddaethant i fynu o dŷ 'r brenhin i dŷ 'r ARGLWYDD, ac a eisteddasant ar ddrws porth newydd *tŷ* 'r ARGLWYDD.

11 Yna yr offeiriaid a'r prophwydi a lefarasant wrth y tywysogion, ac wrth yr holl bobl, gan ddywedyd, Barn marwolaeth *sydd ddyledus* i 'r gwr hwn: canys efe a brophwydodd yn erbyn y ddinas hon, megis y clywsoch â'ch clustiau.

12 ¶ Yna y llefarodd Jeremi wrth yr holl dywysogion, ac wrth yr holl bobl, gan ddywedyd, Yr ARGLWYDD a'm hanfonodd i brophwydo yn erbyn y tŷ hwn, ac yn erbyn y ddinas hon, yr holl eiriau a glywsoch.

13 Gan hynny [e] gwellhêwch yn awr eich ffyrdd a'ch gweithredoedd, a gwrandêwch ar lais yr ARGLWYDD eich Duw; ac fe [f] a edifarhâ 'r ARGLWYDD am y drwg a lefarodd efe i'ch erbyn.

[e] Pen. 7. 3. [f] Adn. 19.

14 Ac am danaf fi, wele fi yn eich dwylaw; gwnewch i mi fel † y gweloch yn dda ac yn uniawn.

† Heb. *y mae yn dda ac yn uniawn yn eich golwg.*

15 Ond gwybyddwch yn sicr, os chwi a'm lladd, eich bod yn dwyn gwaed gwirion arnoch eich hunain, ac ar y ddinas hon, ac ar ei thrigolion: canys mewn gwirionedd yr ARGLWYDD a'm hanfonodd attoch i lefaru, ‡ lle y clywech, yr holl eiriau hyn.

‡ Heb. *yn eich clustiau.*

16 ¶ Yna y tywysogion, a'r holl bobl, a ddywedasant wrth yr offeiriaid a'r prophwydi, Ni haeddai y gwr hwn farw marwolaeth: canys yn enw 'r ARGLWYDD ein Duw y llefarodd efe wrthym.

17 Yna rhai o henuriaid y wlad a godasant, ac a lefarasant wrth holl gynnulleidfa 'r bobl, gan ddywedyd,

18 [g] Michah y Morasthiad oedd yn prophwydo yn nyddiau Hezeciah brenhin Judah, ac efe a lefarodd wrth holl bobl Judah, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd, [h] Sïon a erddir *fel* maes, a Jerusalem a fydd yn garneddau, a mynydd y tŷ yn uchelfeydd i goed.

[g] Mich. 4. 1. [h] Mich. 3. 12.

19 A roddodd Hezeciah brenhin Judah, a holl Judah ef i farwolaeth? oni ofnodd efe 'r ARGLWYDD, ac *oni* weddïodd efe ger bron yr ARGLWYDD, fel yr edifarhaodd yr ARGLWYDD am y drwg a draethasai efe yn eu herbyn? Fel hyn y gwnaem ddrwg mawr yn erbyn ein heneidiau.

20 Ac yr oedd hefyd wr yn prophwydo yn enw 'r ARGLWYDD, Uriah mab Semaiah, o Ciriath-jearim, yr hwn a brophwydodd yn erbyn y ddinas hon, ac yn erbyn y wlad hon, yn ol holl eiriau Jeremi.

21 A phan glywodd y brenhin Jehoiacim, a'i holl gedyrn, a'r holl dywysogion, ei eiriau ef, y brenhin a geisiodd ei ladd ef: ond pan glywodd Urïah, efe a ofnodd, ac a ffodd, ac a aeth i 'r Aipht.

22 A'r brenhin Jehoiacim a anfonodd wŷr i 'r Aipht, *sef* Elnathan fab Achbor, a gwŷr gyd ag ef i 'r Aipht.

23 A hwy a gyrchasant Urïah allan o'r Aipht, ac a'i dygasant ef at y brenhin Jehoiacim, yr hwn a'i lladdodd ef â'r cleddyf, ac a fwriodd ei gelain ef i feddau § y cyffredin.

Cylch 609.

§ Heb. *meibion y bobl.*

24 Eithr llaw [i] Ahicam fab Saphan oedd gyd â Jeremi, fel na roddwyd ef i law y bobl i'w ladd.

[i] 2 Bren. 22. 12, 14.

## PEN. XXVII.

Gorph. 31. B.

1 *Dan rith rhwymau ac ieuau, y mae 'n prophwydo y darostyngid dan Nebuchodonosor y brenhinoedd oedd gymmydogion iddo. 8 Y mae yn eu hannog i ymrôi, ac na chredent y gau-brophwydi. 12 Y mae yn gwneuthur yr un peth i Sedeciah: 19 yn darogan y dygid yr hyn a adawsid o'r llestri i Babilon, ac y byddent yno hyd ddydd yr ymweliad.*

Cylch 598.

YN nechreu teyrnasiad Jehoiacim fab Josïah brenhin Judah, y daeth y gair hwn at Jeremi oddi wrth yr ARGLWYDD, gan ddywedyd,

2 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD wrthyf, Gwna i ti rwymau a † getynnau, a dod hwynt am dy wddf;

† Neu, *ieuau.*

3 Ac anfon hwynt at frenhin Edom, ac at frenhin Moab, ac at frenhin meibion Ammon, ac at frenhin Tyrus, ac at frenhin Sidon, yn llaw 'r cenhadau a ddelo i Jerusalem at Sedeciah frenhin Judah;

4 A gorchymyn iddynt ddywedyd wrth eu harglwyddi, Fel hyn y dywed AR-

GLWYDD y lluoedd, Duw Israel, Fel hyn
† Neu, *am.* y dywedwch † wrth eich arglwyddi;
5 Myfi a wneuthum y ddaear, y dyn a'r
anifail *sydd* ar wyneb y ddaear, â'm grym
a Dan. 4. 17, 25, 32. mawr, ac â'm braich estynedig, ac [a] a'*u*
rhoddais hwynt i'r neb y gwelais yn dda.
6 Ac yn awr mi a roddais yr holl diroedd
hyn yn llaw Nebuchodonosor brenhin Ba-
b Pen. 25. 9. a 43. 10. bilon [b] fy ngwas; a mi a roddais hefyd
[c] anifeiliaid y maes i'w wasanaethu ef.
c Pen. 28. 14. Dan. 2. 38. 7 A'r holl genhedloedd a'i gwasanaethant
ef a'i fab, a mab ei fab, [d] nes dyfod gwir
d Pen. 25. 12. amser ei wlad ef; *yna* cenhedloedd lawer a
brenhinoedd mawrion a fynnant wasanaeth
ganddo ef.
8 Ond y genedl a'r deyrnas ni's gwasa-
naetho ef, sef Nebuchodonosor brenhin Ba-
bilon, a'r rhai ni roddant eu gwddf dan iau
brenhin Babilon; â'r cleddyf, ac â newyn,
ac â haint, yr ymwelaf â'r genedl honno,
medd yr ARGLWYDD, nes i mi eu difetha
hwynt trwy ei law ef.
9 Am hynny na wrandêwch ar eich
prophwydi, nac ar eich dewiniaid, nac ar
‡ Heb. *breuddwydion.* eich ‡ breuddwydwŷr, nac ar eich hudolion,
nac ar eich swynyddion, y rhai sydd yn lle-
faru wrthych, gan ddywedyd, Nid rhaid i
chwi wasanaethu brenhin Babilon:
10 Canys celwydd y mae y rhai hyn yn ei
brophwydo i chwi, i'ch gyrru chwi ym mhell
o'ch gwlad, ac fel y bwriwn chwi ymaith,
ac y methoch.
11 Ond y genedl a roddo ei gwddf dan
iau brenhin Babilon, ac a'i gwasanaetho ef,
y rhai hynny a adawaf fi yn eu gwlad eu
hun, medd yr ARGLWYDD; a hwy a'i lla-
furiant hi, ac a drigant ynddi.
598. 12 ¶ Ac mi a leferais wrth Sedecïah fren-
hin Judah yn ol yr holl eiriau hyn, gan
ddywedyd, Rhoddwch eich gwarrau dan
iau brenhin Babilon, a gwasanaethwch ef
a'i bobl, fel y byddoch byw.
13 Pa ham y byddwch feirw, ti a'th
bobl, trwy'r cleddyf, trwy newyn, a thrwy
haint, fel y dywedodd yr ARGLWYDD yn
erbyn y genedl ni wasanaethai frenhin Ba-
bilon?
14 Am hynny na wrandêwch ar eiriau'r
prophwydi y rhai a lefarant wrthych, gan
ddywedyd, Nid rhaid i chwi wasanaethu
e Pen. 14. 14. a 23. 21. a 29. 8. brenhin Babilon: canys [e] y maent yn pro-
phwydo celwydd i chwi.
15 O herwydd nid myfi a'u hanfonodd
hwynt, medd yr ARGLWYDD, er hynny
hwy a brophwydant yn fy enw ar gelwydd,
fel y gyrrwn chwi ymaith, ac y darfyddai
am danoch chwi, a'r prophwydi sydd yn
prophwydo i chwi.
16 Myfi a leferais hefyd wrth yr offeir-
iaid, a'r holl bobl hyn, gan ddywedyd, Fel
hyn y dywed yr ARGLWYDD, Na wran-
dêwch ar eiriau eich prophwydi, y rhai
sydd yn prophwydo i chwi, gan ddywedyd,
f Pen. 28. 3. Wele, [f] llestri tŷ'r ARGLWYDD a ddygir yn
eu hol o Babilon, bellach ar frys; canys
celwydd y maent yn ei brophwydo i chwi.
17 Na wrandêwch arnynt, gwasanaeth-
wch chwi frenhin Babilon, a byddwch fyw:
pa ham y byddai'r ddinas hon yn ddiffaeth-
wch?
18 Ond os prophwydi *ydynt* hwy, ac od
ydyw gair yr ARGLWYDD gyd â hwynt,
eiriolant yr awr hon ar ARGLWYDD y
lluoedd, nad elo'r llestri a adawyd yn
nhŷ yr ARGLWYDD, ac yn nhŷ brenhin
Judah, ac yn Jerusalem, i Babilon.
19 ¶ Canys fel hyn y dywed ARGLWYDD
y lluoedd, am y colofnau, ac am y môr, ac
am yr ystolion, ac am y rhan arall o'r llestri
a adawyd yn y ddinas hon,
20 Y rhai ni ddug Nebuchodonosor bren-
hin Babilon ymaith, pan [g] gaeth-gludodd g 2 Bren.
efe Jechonïah, fab Jehoiacim frenhin Judah, 24. 14, 15.
o Jerusalem i Babilon, a holl bendefigion Pen. 24. 1.
Judah a Jerusalem:
21 Ië, fel hyn y dywed ARGLWYDD y
lluoedd, Duw Israel, am y llestri a adawyd
yn nhŷ'r ARGLWYDD, ac yn nhŷ brenhin h 2 Bren.
Judah a Jerusalem; 25. 13. 2 Chron.
22 [h] Hwy a ddygir i Babilon, ac yno y 36. 18.
byddant hyd y dydd [i] yr ymwelwyf â i 2 Chron.
hwynt, medd yr ARGLWYDD: yna [k] y dy- 36. 21.
gaf hwynt i fynu, ac y dychwelaf hwynt i'r Pen. 19. 10.
lle hwn. k Ezra 1. 7. a 7. 19.

## PEN. XXVIII.

1 *Hananïah yn gau-brophwydo y dychwelai* Gorph. 31. P.
*y llestri yn eu hol, a Jechonïah hefyd.* 5 *Je-*
*remi yn dymuno bod hynny yn wir, ac yn*
*dangos mai'r diwedd a ddengys pa rai sy*
*wir-brophwydi.* 10 *Hananïah yn torri iau*
*Jeremi.* 12 *Jeremi yn darogan iau haiarn,*
15 *a marwolaeth Hananïah.*

AC yn y flwyddyn honno, yn nechreu Cylch
teyrnasiad Sedecïah brenhin Judah, yn 596.
y bedwaredd flwyddyn, ar y pummed mis,
y llefarodd Hananïah mab Azur y pro-
phwyd, yr hwn *oedd* o Gibeon, wrthyf fi yn
nhŷ yr ARGLWYDD, yngŵydd yr offeiriaid
a'r holl bobl, gan ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y llu-
oedd, Duw Israel, gan ddywedyd, Myfi a
dorrais iau brenhin Babilon.
3 [a] † O fewn yspaid dwy flynedd myfi a a Pen. 27.
ddygaf drachefn i'r lle hwn holl lestri tŷ'r 16.
ARGLWYDD, y rhai a gymmerth Nebucho- † Heb.
donosor brenhin Babilon ymaith o'r lle hwn, *ac etto ddwy*
ac a'u dug i Babilon. *flynedd o ddyddiau.*
4 Ac mi a ddygaf Jechonïah fab Jehoiacim
frenhin Judah, a holl gaeth-glud Judah, y
rhai a aethant i Babilon, drachefn i'r lle
hwn, medd yr ARGLWYDD; canys mi a
dorraf iau brenhin Babilon.
5 ¶ Yna Jeremi y prophwyd a ddywed-
odd wrth Hananïah y prophwyd, yngŵydd
yr offeiriaid, ac yngŵydd yr holl bobl, y
rhai oedd yn sefyll yn nhŷ'r ARGLWYDD;
6 Ië'r prophwyd Jeremi a ddywedodd,
Amen, poed felly y gwnelo'r ARGLWYDD;
yr ARGLWYDD a gyflawno dy eiriau di, y
rhai a brophwydaist, am ddwyn drachefn
lestri tŷ'r ARGLWYDD, a'r holl gaeth-glud,
o Babilon i'r lle hwn.
7 Etto, gwrando di yr awr hon y gair
yma, yr hwn a lefaraf fi ‡ lle y clywech di, ‡ Heb.
a lle clywo'r holl bobl; *yn dy glustiau di, &c.*
8 Y prophwydi y rhai a fuant o'm blaen
i, ac o'th flaen dithau erioed, a brophwyd-
asant yn erbyn gwledydd lawer, ac yn er-
byn teyrnasoedd mawrion, am ryfel, ac am
ddrygfyd, ac am haint.
9 [b] Y prophwyd a brophwydo am hedd- b Deut. 18.
wch, pan ddel gair y prophwyd i *ben*, yr ad- 22.
nabyddir y prophwyd, mai'r ARGLWYDD
a'i hanfonodd ef mewn gwirionedd.
10 ¶ Yna Hananïah y prophwyd a gym-
merodd [c] y gefyn oddi am wddf Jeremi y c Pen. 27.
prophwyd, ac a'i torrodd ef. 2.
11 A Hananïah a lefarodd yngŵydd yr
holl bobl, gan ddywedyd, Fel hyn y dy-
wed yr ARGLWYDD; Y modd hyn y torraf

fi iau Nebuchodonosor brenhin Babilon
[d] Pen. 27. o fewn yspaid dwy flynedd [d] oddi ar warr
pob cenedl. A Jeremi y prophwyd a aeth
i ffordd.
12 ¶ Yna y daeth gair yr ARGLWYDD at
Jeremi *y prophwyd* (wedi i Hananïah y pro-
phwyd dorri 'r gefyn oddi am wddf y pro-
phwyd Jeremi) gan ddywedyd,
13 Dos di, a dywed i Hananïah, gan ddy-
wedyd, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
Gefynnau pren a dorraist ti; ond ti a wnei
yn eu lle hwynt efynnau o haiarn.
14 Canys fel hyn y dywed ARGLWYDD
[e] Deut. 28. y lluoedd, DUW Israel, [e] Rhoddaf iau o
48. haiarn ar warr yr holl genhedloedd hyn, fel
y gwasanaethont Nebuchodonosor frenhin
[f] Pen. 27. Babilon, a hwy a'i gwasanaethant ef: [f] mi a
6. roddais hefyd anifeiliaid y maes iddo ef.
15 ¶ Yna Jeremi y prophwyd a ddywed-
odd wrth Hananïah y prophwyd, Gwrando
yn awr, Hananïah; Ni anfonodd yr AR-
GLWYDD mo honot ti; ond yr wyt yn peri
i'r bobl hyn ymddiried mewn celwydd.
[g] Deut. 13. 16 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
5. GLWYDD, Wele, mi a'th fwriaf di oddi
Pen. 29. 32. ar wyneb y ddaear: *o fewn* y flwyddyn hon
† Heb. y byddi farw, [g] o herwydd i ti ddysgu
*ymadaw-
iad.* † gwrthryfel yn erbyn yr ARGLWYDD.
Cylch 17 Felly Hananïah y prophwyd a fu farw
595. y flwyddyn honno, yn y seithfed mis.

## PEN. XXIX.

Awst 1. B. 1 *Jeremi yn anfon llythyr at y rhai oedd
ynghaethiwed Babilon, ar fod o honynt yn
llonydd yno;* 8 *ac na choelient freuddwy-
dion eu prophwydi;* 10 *ac y caent ddych-
welyd yn eu hol ym mhen* 70 *o flynydd-
oedd.* 15 *Y mae yn rhag-fynegi dinystr y
llaill, am eu hanufudd-dod;* 20 *ac yn dan-
gos erchyll ddiwedd Ahab a Sedecïah, dau
brophwyd celwyddog.* 24 *Semaiah yn ys-
grifennu llythyr yn erbyn Jeremi:* 30 *a Je-
remi yn dangos ei farnedigaeth yntau.*

Cylch DYMA eiriau'r llythyr a anfonodd Je-
599. remi y prophwyd o Jerusalem at wed-
dill henuriaid y gaeth-glud, ac at yr offeir-
iaid, ac at y prophwydi, ac at yr holl bobl
y rhai a gaeth-gludasai Nebuchodonosor o
Jerusalem i Babilon,
[a] 2 Bren. 2 (Wedi myned [a] Jechonïah y brenhin, a'r
24. 12, &c. frenhines, a'r † ystafellyddion, tywysogion
† Neu, Judah a Jerusalem, a'r seiri a'r gofaint, al-
*eunuch-
tuid.* lan o Jerusalem)
3 Yn llaw Elasah fab Saphan, a Gemarïah
fab Hilcïah, y rhai a anfonodd Sedecïah
brenhin Judah at Nebuchodonosor frenhin
Babilon i Babilon, gan ddywedyd,
4 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y llu-
oedd, DUW Israel, wrth yr holl gaeth-glud,
yr hon a berais ei chaeth-gludo o Jerusalem
i Babilon;
[b] Adn. 28. 5 [b] Adeiledwch dai, a phreswyliwch *yn-
ddynt;* a phlennwch erddi, a bwyttêwch eu
ffrwyth hwynt.
6 Cymmerwch wragedd, ac ynnillwch fei-
bion a merched; a chymmerwch wrag-
edd i'ch meibion, a rhoddwch eich merch-
ed i wŷr, fel yr esgoront ar feibion a
merched, ac yr amlhaoch chwi yno, ac na
leihaoch.
7 Ceisiwch hefyd heddwch y ddinas yr
hon y'ch caeth-gludais iddi, a gweddïwch
ar yr ARGLWYDD drosti hi; canys yn
ei heddwch hi y bydd heddwch i chwi-
thau.

8 ¶ O herwydd fel hyn y dywed AR-
GLWYDD y lluoedd, DUW Israel, Na
[c] thwylled eich prophwydi y rhai *sydd* yn [c] Pen. 14.
eich mysg chwi mo honoch, na'ch dewin- 14. a 23.
iaid, ac na wrandêwch ar eich breudd- 21. a 27. 15.
wydion y rhai yr ydych chwi yn peri eu
breuddwydio:
9 Canys y maent hwy yn prophwydo i
chwi ar gelwydd yn fy enw i; ni anfonais
i mo honynt, medd yr ARGLWYDD.
10 ¶ O herwydd fel hyn y dywed yr Cylch
ARGLWYDD, Pan gyflawner yn Babilon 606.
[d] ddeng mlynedd a thrugain, yr ymwelaf [d] 2 Chron.
â chwi, ac a gyflawnaf â chwi fy ngair 36. 21, 22.
daionus, trwy eich dwyn chwi drachefn i'r Ezra 1. 1.
lle hwn. Pen 25. 12.
a 27. 22.
11 Oblegid myfi a wn y meddyliau yr Dan. 9. 2.
wyf fi yn eu meddwl am danoch chwi, medd
yr ARGLWYDD, meddyliau heddwch ac nid
niweid, i roddi i chwi ‡ y diwedd yr ydych ‡ Heb.
chwi yn ei ddisgwyl. *ddiwedd
a disgwyl-*
12 Yna y [e] gelwch chwi arnaf, ac yr *iad.*
ewch ac y gweddïwch arnaf fi, a minnau [e] Dan. 9. 3,
a'ch gwrandawaf. &c.
13 [f] Ceisiwch fi hefyd, a chwi a'm cewch, [f] Lef. 26.
pan y'm ceisioch â'ch holl galon. 39, 40.
Deut. 30.
14 A [g] mi a adawaf i chwi fy nghael, [g] Deut. 4.
medd yr ARGLWYDD, a mi a ddychwelaf 7.
eich caethiwed, ac [h] a'ch casglaf chwi o'r Psal. 32. 6.
holl genhedloedd, ac o'r holl leoedd y rhai a 46. 2.
y'ch gyrrais iddynt, medd yr ARGLWYDD; Esay 55. 6.
a mi a'ch dygaf chwi drachefn i'r lle y [h] Pen. 23.
perais eich caeth-gludo chwi allan o hono. 3.
15 ¶ O herwydd i chwi ddywedyd, Yr
ARGLWYDD a gyfododd brophwydi i ni
yn Babilon:
16 *Gwybyddwch* mai fel hyn y dywed yr
ARGLWYDD am y brenhin sydd yn eistedd
ar deyrn-gadair Dafydd, ac am yr holl bobl
sydd yn trigo yn y ddinas hon, *ac* am eich
brodyr y rhai nid aethant allan gyd â chwi
i gaeth-glud;
17 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y llu-
oedd, Wele fi yn anfon arnynt [i] y cleddyf, [i] Pen. 24.
a newyn, a haint, a mi a'u gwnaf hwynt fel 10.
[k] y ffigys bryntion, y rhai ni ellir eu bwytta, [k] Pen. 24.
rhag eu drycced. 8.
18 A mi a'u herlidiaf hwynt â'r cleddyf,
â newyn, ac â haint; ac [l] mi a'u rhoddaf [l] Deut. 28.
hwynt i'w symmud i holl deyrnasoedd y 25.
ddaear, [m] yn felldith, ac yn chwithdra, 2 Chron.
ac yn chwibaniad, ac yn warth ym 29. 8.
mysg yr holl genhedloedd lle y gyrrais i Pen. 15. 4.
hwynt; a 24. 9. a
34. 17.
[m] Pen. 42.
19 Am na wrandawsant ar fy ngeiriau, 18.
medd yr ARGLWYDD, y rhai [n] a anfonais [n] Pen. 25.
i attynt gyd â'm gweision y prophwydi, gan 4. a 32, 33.
gyfodi yn fore, a'u hanfon; ond ni wranda-
wech, medd yr ARGLWYDD.
20 ¶ Gan hynny gwrandêwch air yr
ARGLWYDD, chwi oll o'r gaeth-glud a an-
fonais o Jerusalem i Babilon:
21 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y
lluoedd, DUW Israel, am Ahab fab Co-
laiah, ac am Sedecïah fab Maaseiah, y
rhai sy 'n prophwydo celwydd i chwi yn fy
enw i, Wele, myfi a'u rhoddaf hwynt yn
llaw Nebuchodonosor brenhin Babilon, ac
efe a'u lladd hwynt yngŵydd eich llygaid
chwi.
22 [o] A holl gaeth-glud Judah, yr hon [o] Edrych
*sydd* yn Babilon, a gymmerant y rheg *hon* Gen. 48. 20.
oddi wrthynt hwy, gan ddywedyd, Gwneled
yr ARGLWYDD dydi fel Sedecïah ac fel
Ahab, y rhai a rostiodd brenhin Babilon
wrth y tân.

p Pen. 23. 23 Am [p] iddynt wneuthur ysgelerder yn
14. Israel, a gwneuthur godineb gyd â gwrag-
edd eu cymmydogion, a llefaru o honynt
eiriau celwyddog yn fy enw i, y rhai ni or-
chymynais iddynt; a minnau yn gwybod,
ac yn dyst, medd yr ARGLWYDD.
598. 24 ¶ Ac wrth Semaiah y † Nehelamiad y
† Heb. llefari, gan ddywedyd,
*breuddwydiwr.* 25 Fel hyn y llefarodd ARGLWYDD y
lluoedd, DUW Israel, gan ddywedyd, Am
i ti anfon yn dy enw dy hun lythyrau at yr
holl bobl *sy* yn Jerusalem, ac at Sephanïah
fab Maaseiah yr offeiriad, ac at yr holl offeir-
iaid, gan ddywedyd,
26 Yr ARGLWYDD a'th osododd di yn
offeiriad yn lle Jehoiada yr offeiriad, i fod
yn olygwr yn nhŷ'r ARGLWYDD, ar bob
q 2 Bren. [q] gwr gorphwyllog, ac yn cymmeryd arno
9. 11. brophwydo, i'w [r] roddi ef mewn carchar, a
Act. 26. 24. chyffion:
r Pen. 20. 27 Ac yn awr pa ham na cheryddaist ti
2. Jeremi o Anathoth, yr hwn sydd yn pro-
phwydo i chwi?
28 Canys am hynny yr anfonodd attom
ni i Babilon, gan ddywedyd, Hir *fydd y*
s Adn. 5. *gaethiwed* hon: [s] adeiladwch dai, a phre-
swyliwch *ynddynt;* a phlennwch erddi, a
bwyttêwch eu ffrwyth hwynt.
29 A Sephanïah yr offeiriad a ddarllenodd
y llythyr hwn lle y clywodd Jeremi y pro-
phwyd.
30 ¶ Yna y daeth gair yr ARGLWYDD at
Jeremi, gan ddywedyd,
31 Anfon at yr holl gaeth-glud, gan ddy-
wedyd, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD am
Semaiah y Nehelamiad; O herwydd i Se-
maiah brophwydo i chwi, a minnau heb ei
anfon ef, a pheri o hono i chwi ymddiried
mewn celwydd:
32 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD; Wele, mi a ymwelaf â Semaiah
y Nehelamiad, ac â'i had ef: ni bydd
iddo un a drigo ym mysg y bobl hyn,
ac ni chaiff efe weled y daioni a wnaf fi
t Pen. 28. i'm pobl, medd yr ARGLWYDD; [t] am
16. iddo ddysgu ‡ gwrthryfel yn erbyn yr AR-
‡ Heb. GLWYDD.
*ymadawiad.*

## PEN. XXX.

Awst 1. P. 1 *Duw yn dangos i Jeremi y dychwelai yr Iuddewon; 4 ac ar ol eu trallod y cânt ymwared. 10 Y mae yn cysuro Jacob: 18 y bydd eu dychweliad hwy yn rasusol: 23 y syrth digofaint ar yr enwir.*

Cylch 606. Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi
wrth yr ARGLWYDD, gan ddywedyd,
2 Fel hyn y llefarodd yr ARGLWYDD,
DUW Israel, gan ddywedyd, Ysgrifena i
ti yr holl eiriau a leferais i wrthyt mewn
llyfr.
3 Canys wele y dyddiau yn dyfod, medd
yr ARGLWYDD, i mi ddychwelyd caeth-
iwed fy mhobl Israel a Judah, medd yr AR-
GLWYDD: a mi a'u dygaf hwynt drachefn
i'r wlad a roddais i'w tadau, a hwy a'i medd-
iannant hi.
4 ¶ Dyma hefyd y geiriau a lefarodd yr
ARGLWYDD am Israel, ac am Judah.
5 O herwydd fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD; Llef dychryn a glywsom ni,
† Neu, *ofn sydd, ac nid,* &c. † ofn, ac nid heddwch.
6 Gofynwch yr awr hon, ac edrychwch
a esgora gwrryw; pa ham yr ydwyf fi yn
gweled pob gwr â'i ddwylaw ar ei lwynau,
a Pen. 4. 31. a 6. 24. [a] fel gwraig wrth esgor, ac y trowyd yr holl
wynebau yn lesni?

7 [b] Och! canys mawr *yw*'r dydd hwn, b Joel 2.
heb gyffelyb iddo: amser blinder *yw* hwn i 11.
Jacob; ond efe a waredir o hono. Amos 5. 18.
8 Canys y dydd hwnnw, medd yr AR- Seph. 1. 14, &c.
GLWYDD y lluoedd, y torraf fi ei iau ef
oddi ar dy warr di, a mi a ddrylliaf dy
rwymau, ac ni chaiff dïeithriaid wneuthur
iddo ef eu gwasanaethu hwynt mwyach.
9 Eithr hwy a wasanaethant yr AR-
GLWYDD eu DUW, a [c] Dafydd eu brenhin, c Ezec. 34.
yr hwn a godaf fi iddynt. 23. a 37. 24.
10 ¶ Ac [d] nac ofna di, O fy ngwas Ja- Hos. 3. 5.
cob, medd yr ARGLWYDD; ac na fraw- d Esay 41. 13. a 43. 5.
ycha di, O Israel: canys wele, mi a'th a 44. 2.
achubaf di o bell, a'th had o dir eu Pen. 46. 28.
caethiwed; a Jacob a ddychwel, ac a or-
phwys, ac a gaiff lonydd, ac ni bydd a'i
dychryno.
11 Canys *yr ydwyf* fi gyd â thi, medd
yr ARGLWYDD, i'th achub di: [e] er i mi e Amos 9.
wneuthur pen am yr holl genhedloedd lle 8.
y'th wasgerais, etto [f] ni wnaf ben am f Psal. 6. 1.
danat ti; eithr mi a'th geryddaf di mewn Esay 27. 8.
‡ barn, ac ni'th adawaf yn gwbl ddige- Pen. 10. 24. a 46. 28.
rydd.
12 Oblegid fel hyn y dywed yr AR- ‡ Neu, *mesur.*
GLWYDD; [g] Anafus *yw* dy yssigtod, *a* do- g Pen. 15.
lurus *yw* dy archoll. 18.
13 Nid *oes* a ddadleuo dy gwyn, § fel § Heb.
y'th iachâer; [h] nid *oes* feddyginiaeth iechyd *i rwymo,* neu, *i wasgu.*
i ti.
14 [i] Dy holl gariadau a'th anghofiasant: h Pen. 8.
ni cheisiant mo honot ti; canys mi a'th 22.
darewais â dyrnod [k] gelyn, *sef* â chospedig- i Galar. 1.
aeth [l] y creulon, am amlder dy anwiredd: 2.
[m] *oblegid* dy bechodau a amlhasant. k Job 13. 24. a 16. 9.
15 Pa ham [n] y bloeddi am dy yssigtod? a 19. 11.
anafus *yw* dy ddolur, gan amlder dy an- l Job 30.
wiredd: *o herwydd* amlhau o'th bechodau y 21.
gwneuthum hyn i ti. m Pen. 5. 6.
16 Am hynny [o] y rhai oll a'th ysant a
ysir; a chwbl o'th holl elynion a ânt i n Pen. 15. 18.
gaethiwed; a'th anrheithwŷr di a fyddant o Exod. 23.
yn anrhaith, a'th holl yspeilwŷr a roddaf fi 22.
yn yspail. Esay 33. 1.
17 Canys myfi a roddaf iechyd i ti, ac a 41. 11. Pen. 10. 15.
a'th iachâf di o'th friwiau, medd yr AR-
GLWYDD; oblegid hwy a'th alwasant di,
yr hon a yrrwyd ymaith, *gan ddywedyd,*
Dyma Sïon, yr hon nid oes *neb* yn ei
cheisio.
18 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD;
Wele, myfi a ddychwelaf gaethiwed pe-
byll Jacob, ac a gymmeraf drugaredd ar
ei anneddau ef; a'r ddinas a adeiledir
ar ei ‖ charnedd, a'r llys a erys yn ol ei ‖ Neu, *bryncyn.*
arfer.
19 A [p] moliant a â allan o honynt, a p Esay 35.
llais rhai yn gorfoleddu: a mi a'u hamlhâf 10. a 51. 11.
hwynt, ac ni byddant anaml; a mi
a'u hanrhydeddaf hwynt, ac ni byddant
wael.
20 Eu meibion hefyd fydd megis cynt, a'u
cynnulleidfa a sicrhêir ger fy mron; a mi a
ymwelaf â'u holl orthrymmwŷr hwynt.
21 A'u pendefigion fydd o honynt eu
hun, a'u llywiawdr a ddaw allan o'u mysg
eu hun; a mi a baraf iddo nesâu, ac efe a
ddaw attaf: canys pwy *yw* hwn a lwyr-rodd-
odd ei galon i nesâu attaf fi? medd yr AR-
GLWYDD.
22 A [q] chwi a fyddwch yn bobl i mi, a q Pen. 24.
minnau a fyddaf yn DDUW i chwithau. 7. a 31. 1. 33. a 32. 38.
23 Wele, [r] gorwynt yr ARGLWYDD yn r Pen. 23.
myned allan *mewn* digter, corwynt parhâus; 19, 20. a 25.
ar ben annuwiolion yr erys. 32.

24 Ni ddychwel digofaint llidiog yr ARGLWYDD, nes iddo *ei* wneuthur, ac nes iddo gyflawni meddyliau ei galon: yn y dyddiau diweddaf y deallwch hyn.

## PEN. XXXI.

Awst 2. B. Dydd y Gwirionsaid, B. h. w. 18. D. Ioan eyn y Pasg, B.

Cylch 606.

1 *Adferu Israel;* 10 *a chyhoeddi hynny.* 15 *Rahel yn galaru am ei phlant.* 18 *Ephraim yn edifarhâu, ac yn cael ei ddwyn adref drachefn.* 22 *Addewid o Grist.* 27 *Ei ofal ef dros ei eglwys.* 31 *Ei gyfammod newydd ef.* 35 *Sicrwydd* 38 *a helaethrwydd yr eglwys.*

YR amser hwnnw, medd yr ARGLWYDD, y byddaf DDUW i holl deuluoedd Israel; a hwythau a fyddant bobl i mi.

2 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Y bobl *y rhai* a weddillwyd gan y cleddyf, a gafodd ffafr yn yr anialwch, pan [a] aethum i beri llonyddwch iddo ef, *sef* i Israel.

3 † Er ys talm yr ymddangosodd yr ARGLWYDD i mi, *gan ddywedyd,* A chariad tragywyddol y'th gerais: am hynny ‡ tynnais di â thrugaredd.

4 [b] Myfi a'th adeiladaf etto a thi a adeiledir, O forwyn Israel: ymdrwsi etto â'th [c] dympanau, ac a ai allan gyd â'r chwareuyddion dawns.

5 [d] Ti a blenni etto winllannoedd ym mynyddoedd Samaria: y planwŷr a blannant, ac a'*u* § mwynhânt yn gyffredin.

6 Canys daw'r dydd y llefa y gwylwŷr ym mynydd Ephraim, [e] Codwch, ac awn i fynu i Sïon at yr ARGLWYDD ein DUW.

7 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Cenwch orfoledd i Jacob, a chrechwenwch ym mhlith rhai pennaf y cenhedloedd: cyhoeddwch, molwch, a dywedwch, O ARGLWYDD, cadw dy bobl gweddill Israel.

8 Wele, mi a'u harweiniaf hwynt [f] o dir y gogledd, ac a'u casglaf hwynt o ystlysau'r ddaear, y dall a'r cloff, y feichiog a'r hon sydd yn esgor, ar unwaith gyd â hwynt: cynnulleidfa fawr a ddychwelant yma.

9 [g] Mewn wylofain y deuant, ac mewn ‖ tosturiaethau y dygaf hwynt: gwnaf iddynt rodio wrth ffrydiau dyfroedd [h] mewn ffordd uniawn yr hon ni thripiant ynddi: oblegid myfi sydd dad i Israel, ac Ephraim yw [i] fy nghyntaf-anedig.

10 ¶ Gwrandêwch air yr ARGLWYDD, O genhedloedd, a mynegwch yn yr ynysoedd o bell, a dywedwch, Yr hwn a wasgarodd Israel, a'i casgl ef, ac a'i ceidw fel bugail ei braidd.

11 O herwydd [k] yr ARGLWYDD a waredodd Jacob, ac a'i hachubodd ef o law yr hwn *oedd* drech nag ef.

12 Am hynny y deuant ac y canant yn uchelder Sïon; a hwy a redant at ddaioni'r ARGLWYDD, am wenith, ac am win, ac am olew, ac am eppil y defaid a'r gwartheg: a'u henaid fydd fel [l] gardd ddyfradwy; ac ni ofidiant mwyach.

13 Yna y llawenycha'r forwyn yn y dawns, a'r gwŷr ieuaingc a'r henafgwŷr ynghŷd: canys myfi a droaf eu galar yn llawenydd, ac a'u diddanaf hwynt, ac a'u llawenychaf o'u tristwch.

14 A mi a ddiwallaf enaid yr offeiriaid â brasder, a'm pobl a ddigonir â'm daioni, medd yr ARGLWYDD.

15 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; [m] Llef a glywyd yn Ramah, cwynfan *ac* wylofain chwerw; Rahel yn wylo am ei meibion, ni fynnai ei chysuro am ei meibion, o herwydd nad *oeddynt.*

[a] Num. 10. 33. Deut. 1. 33. Psal. 95. 11.
† Heb. *O bell.*
‡ Neu, *yr estynnais drugaredd i ti.*
[b] Pen. 33. 7.
[c] Exod. 15. 20. Barn. 11. 34.
[d] Esay 65. 21.
§ Heb. *cyffredinant.*
[e] Esay 2. 3. Mich. 4. 2.
[f] Pen. 3. 12.
[g] Psal. 126. 5, 6. Pen. 50. 4.
‖ Neu, *ffafr,* neu, *deisyfiadau.*
[h] Esay 35. 8. a 43. 19.
[i] Exod. 4. 22.
[k] Esay 49. 24, 25.
[l] Esay 58. 11.
[m] Mat. 2. 17, 18.

16 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Attal dy lef rhag wylo, a'th lygaid rhag dagrau: canys y mae tâl i'th lafur, medd yr ARGLWYDD; a hwy a ddychwelant o dir y gelyn.

17 Ac y mae gobaith yn dy ddiwedd, medd yr ARGLWYDD, y dychwel *dy* blant i'w bro eu hun.

18 ¶ Gan glywed y clywais Ephraim yn cwynfan *fel hyn;* Cospaist fi, a mi a gospwyd, fel llo heb ei gynnefino â'r iau: [n] dychwel di fi, a mi a ddychwelir; oblegid ti *yw* yr ARGLWYDD fy NUW.

19 Yn ddïau [o] wedi i mi ddychwelyd, mi a edifarheais; ac wedi i mi wybod, mi a darewais *fy* morddwyd: myfi a gywilyddiwyd, ac a waradwyddwyd hefyd, am i mi ddwyn gwarth fy ieuengctid.

20 Ai mab hoff gennyf *yw* Ephraim? ai plentyn hyfrydwch *yw?* canys er pan lefarais i yn ei erbyn ef, gan gofio y cofiaf ef etto: [p] am hynny fy nherfedd a ruant am dano ef; gan drugarhâu y trugarhâf wrtho ef, medd yr ARGLWYDD.

21 Cyfod it' arwyddion ffordd, gosod i ti garneddau uchel: gosod dy galon tu a'r brif-ffordd, y ffordd yr aethost: dychwel, forwyn Israel, dychwel i'th ddinasoedd hyn.

22 ¶ Pa hŷd [q] yr ymgrwydri, O ferch wrthnysig? oblegid yr ARGLWYDD a greodd beth newydd ar y ddaear; Benyw a amgylcha wr.

23 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd, DUW Israel; Dywedant etto y gair hwn yngwlâd Judah, ac yn ei dinasoedd, pan ddychwelwyf eu caethiwed hwynt; Yr ARGLWYDD a'th fendithio, trigfa cyfiawnder, mynydd sancteiddrwydd.

24 Yna arddwŷr a † bugeiliaid a breswyliant ynddi hi Judah, ac yn ei holl ddinasoedd ynghŷd.

25 O herwydd yr enaid diffygiol a ddigonais, a phob enaid trist a lenwais.

26 Ar hyn y deffroais, ac yr edrychais, a melus oedd fy hûn gennyf.

27 ¶ Wele'r dyddiau yn dyfod, medd yr ARGLWYDD, [r] yr hauaf dŷ Israel a thŷ Judah â had dyn ac â had anifail.

28 Ac megis y gwyliais arnynt, [s] i ddiwreiddio, ac i dynnu i lawr, ac i ddinystrio, ac i ddifetha, ac i ddrygu; felly y gwyliaf arnynt i adeiladu ac i blannu, medd yr ARGLWYDD.

29 [t] Yn y dyddiau hynny ni ddywedant mwyach, Y tadau a fwyttasant rawnwin surion, ac ar ddannedd y plant y mae dincod.

30 Ond pob un a fydd farw yn ei anwiredd ei hun: pob un a'r a fwyttao rawnwin surion, ar ei ddannedd ef y bydd dincod.

31 ¶ Wele [u] y dyddiau yn dyfod, medd yr ARGLWYDD, y gwnaf gyfammod newydd â thŷ Israel, ac â thŷ Judah:

32 Nid fel y cyfammod a wneuthum â'u tadau hwynt ar y dydd yr ymaflais yn eu llaw hwynt i'w dwyn allan o dir yr Aipht (yr hwn fy nghyfammod a ddarfu iddynt hwy ei ddiddymmu, ‡ er fy mod i yn brïod iddynt, medd yr ARGLWYDD)

33 Ond dyma'r cyfammod a wnaf fi â thŷ Israel ar ol y dyddiau hynny, medd yr ARGLWYDD; [x] Myfi a roddaf fy nghyfraith o'u mewn hwynt, ac a'i 'sgrifenaf hi yn eu calonnau hwynt; a [y] mi a fyddaf iddynt hwy yn DDUW, a hwythau a fyddant yn bobl i mi.

[n] Galar. 5. 21.
[o] Deut. 30. 2.
[p] Deut. 32. 36. Esay 63. 15. Hos. 11. 8.
[q] Pen. 2. 18, 23, 36.
† Heb. *rhai'n myned allan gyd â diadellau.*
[r] Hos. 2. 23. Zech. 10. 9.
[s] Pen. 1. 10. a 18. 7.
[t] Ezec. 18. 2, 3, 20.
[u] Pen. 32. 40. Heb. 8. 8. a 10. 16.
‡ Neu, *a barhawn i yn brïod iddynt?*
[x] Psal. 40. 8. Ezec. 11. 19, 20. a 36. 26, 27. 2 Cor. 3. 3.
[y] Pen. 24. 7. a 30. 22.

[z] Esay 54. 34 [z] Ac ni ddysgant mwyach bob un
13. ei gymmydog, a phob un ei frawd, gan
Ioan 6. 45. ddywedyd, Adnabyddwch yr ARGLWYDD:
1 Cor. 2. o herwydd hwynt-hwy oll o'r lleiaf o ho-
10. nynt hyd y mwyaf o honynt a'm hadna-
1 Ioan 2. byddant, medd yr ARGLWYDD; oblegid
20. [a] mi a faddeuaf eu hanwiredd, a'u pechod
[a] Pen. 33. ni chofiaf mwyach.
8. Mich. 7. 18. 35 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
Act. 10. 43. [b] yr hwn sydd yn rhoddi 'r haul yn oleuni
Rhuf. 11. 27. dydd, defodau 'r lloer a'r ser yn oleuni nos,
[b] Gen. 1. 16. [c] yr hwn sydd yn rhwygo 'r môr pan ruo ei
[c] Psal. 72. donnau; ARGLWYDD y lluoedd *yw* ei enw:
5, 17. a 89. 36 [d] Os cilia 'r defodau hynny o'm gŵydd
2, 36. a 119. i, medd yr ARGLWYDD, yna had Israel a
89. Esay 51. 15. baid â bod yn genedl ger fy mron i yn dra-
[d] Esay 54. gywydd.
9. 37 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD;
Pen. 33. 20. [e] Os gellir mesur y nefoedd oddi uchod, a
[e] Pen. 33. chwilio sylfeini 'r ddaear hyd isod, minnau
22. hefyd a wrthodaf holl had Israel, am yr hyn
oll a wnaethant hwy, medd yr ARGLWYDD.
[f] Ezec. 14. 38 ¶ Wele [f] y dyddiau yn dyfod, medd
10. yr ARGLWYDD, yr adeiledir y ddinas i'r
[g] Neh. 3. 1. ARGLWYDD o [g] dŵr Hananeel hyd borth y
gongl.
[h] Zech. 2. 39 [h] A'r llinyn mesur a â allan etto ar ei
1. gyfer ef, ar fryn Gareb, ac a amgylcha
hyd Goath.
40 A holl ddyffryn y celaneddau, a'r
lludw, a'r holl feusydd, hyd afon Cidron,
[i] 2 Chron. hyd gongl [i] porth y meirch tu a'r dwyrain,
23. 15. Neh. 3. 28. *a fydd* sanctaidd i'r ARGLWYDD; ni's di-
wreiddir, ac ni's dinystrir mwyach byth.

## PEN. XXXII.

Awst 2. P. 1 *Jeremi, wedi ei garcharu gan Sedecïah am ei brophwydoliaeth,* 6 *yn prynu maes Hanameel.* 13 *Baruch yn rhaid iddo gadw'r ysgrifenadau, megis yn arwyddion o ddychweliad y bobl.* 16 *Jeremi, yn ei weddi, yn achwyn wrth Dduw.* 26 *Duw yn sicrhâu y caethiwed am eu pechodau hwy,* 36 *ac yn addo iddynt rasusol ddychweliad.*

Cylch Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi
590. wrth yr ARGLWYDD † yn y ddeged
† 2 Bren. 25. flwyddyn i Sedecïah frenhin Judah, honno
1, 2. *oedd* y ddeunawfed flwyddyn i Nebuchodo-
nosor.
2 Canys y pryd hynny yr oedd llu bre-
nhin Babilon yn gwarchae ar Jerusalem: a
Jeremi y prophwyd ydoedd wedi cau arno
[a] Neh. 3. [a] ynghyntedd y carchar, yr hwn *oedd* yn
25. nhŷ brenhin Judah.
Pen. 33. 1. a 37. 21. a 3 Canys Sedecïah brenhin Judah, a gaua-
38. 6. a 39. sai arno ef, gan ddywedyd, Pa ham y pro-
14. phwydi, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed
[b] Pen. 34. yr ARGLWYDD; [b] Wele, mi a roddaf y
2. ddinas hon yn llaw brenhin Babilon, ac efe
a'i hennill hi;
[c] Pen. 34. 4 Ac [c] ni ddïange Sedecïah brenhin Ju-
3. a 52. 9. dah o law 'r Caldeaid, ond efe a roddir yn
ddïau yn llaw brenhin Babilon, ac efe a
ymddiddan ag ef enau yngenau, a'i lygaid
ef a edrychant yn ei lygaid yntau;
5 Ac efe a arwain Sedecïah i Babilon, ac
yno y bydd efe hyd oni ymwelwyf fi ag ef,
medd yr ARGLWYDD: er i chwi ymladd â'r
Caldeaid, ni lwyddwch.
6 ¶ A Jeremi a lefarodd, Gair yr AR-
GLWYDD a ddaeth attaf fi, gan ddywedyd,
7 Wele Hanameel fab Salum dy ewythr
yn dyfod attat, gan ddywedyd, Pryn i ti fy
[d] Lef. 25. maes, yr hwn *sydd* yn Anathoth: oblegid [d] i
24, 25, 32. Ruth 4. 4. ti *y mae* cyfiawnder y pryniad i'w brynu *ef*.

8 Felly Hanameel mab fy ewythr frawd
fy nhad a ddaeth attaf fi i gyntedd y car-
chardy, yn ol gair yr ARGLWYDD, ac a
ddywedodd wrthyf, Pryn, attolwg, fy maes
*sydd* yn Anathoth yn nhir Benjamin: canys
i ti *y mae* cyfiawnder yr etifeddiaeth, ac i ti
y perthyn ei ollwng; pryn *ef* i ti. Yna y
gwybûm mai gair yr ARGLWYDD *oedd*
hwn.
9 A mi a brynais y maes *oedd* yn Ana-
thoth gan Hanameel fab fy ewythr frawd fy
nhad, ac a bwysais iddo 'r arian, saith sicl a
deg *darn* o arian.
10 A mi a 'sgrifenais *hyn* mewn llyfr, ac
a'i seliais; cymmerais hefyd dystion, a
phwysais yr arian mewn cloriannau.
11 Yna mi a gymmerais lyfr y pryniad,
*sef yr hwn oedd* wedi ei selio *wrth* gyfraith a
defod, *a'r hwn oedd* yn agored.
12 A mi a roddais lyfr y pryniad at Ba-
ruch fab Nerïah, fab Maaseiah, yngŵydd
Hanameel *mab* fy ewythr, ac yngŵydd [e] y [e] Edrych
tystion a 'sgrifenasent lyfr y prynedigaeth, Esay 8. 2.
yngŵydd yr holl Iuddewon oedd yn eistedd
ynghyntedd y carchardy.
13 ¶ A mi a orchymynais i Baruch yn eu
gŵydd hwynt, gan ddywedyd,
14 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y
lluoedd, DUW Israel; Cymmer y llyfrau
hyn, *sef* y llyfr hwn o'r pryniad yr hwn
*sydd* seliedig, a'r llyfr agored hwn, a dod
hwynt mewn llestr pridd, fel y parhaont
ddyddiau lawer.
15 O herwydd fel hyn y dywed AR-
GLWYDD y lluoedd, DUW Israel; Tai, a
meusydd, a gwinllannoedd, a feddiennir
etto yn y wlad hon.
16 ¶ Ac wedi i mi roddi llyfr y pryniad
at Baruch fab Nerïah, myfi a weddïais ar
yr ARGLWYDD, gan ddywedyd,
17 O ARGLWYDD DDUW, wele, ti a
wnaethost y nefoedd a'r ddaear, â'th fawr
allu ac â'th fraich estynedig; [f] nid oes dim [f] Gen. 18.
‡ rhŷ anhawdd i ti. 14.
18 Yr wyt yn gwneuthur [g] trugaredd i Adn. 27. Luc 1. 37.
filoedd, ac yn talu anwireddau 'r tadau i ‡ Neu,
fynwes eu meibion ar eu hol hwynt: y *cuddiedig*
DUW mawr, cadarn, ARGLWYDD y lluoedd *rhagot.*
*yw* ei enw; [g] Exod. 20.
19 Mawr mewn cyngor, a galluog ar 6. a 34. 7. Deut. 5. 10.
weithred (canys *y mae* dy [h] lygaid yn agored [h] Job 34.
ar holl ffyrdd meibion dynion, [i] i roddi i 21.
bob un yn ol ei ffyrdd, ac yn ol ffrwyth ei Psal. 33. 13. Diar. 5. 21.
weithredoedd) Pen. 16. 17.
20 Yr hwn a osodaist arwyddion a rhy- [i] Pen. 17.
feddodau yngwlâd yr Aipht hyd y dydd 10.
hwn, ac yn Israel, ac ym mysg dynion
*eraill;* ac a wnaethost i ti enw, megis hed-
dyw;
21 Ac a ddygaist dy bobl Israel [k] allan [k] Exod. 6.
o dir yr Aipht, ag arwyddion, ac â rhy- 6.
feddodau, ac â llaw gref, ac â braich esty- 2 Sam. 7. 23.
nedig, ac ag ofn mawr; 1 Chron.
22 Ac a roddaist iddynt y wlad yma, yr 17. 21.
hon a dyngaist wrth eu tadau y rhoddit id-
dynt, *sef* gwlad yn llifeirio o laeth a mel.
23 A hwy a ddaethant i mewn, ac a'i
meddiannasant hi; ond ni wrandawsant ar
dy lais, ac ni rodiasant yn dy gyfraith: ni
wnaethant ddim o'r hyn oll a orchymynaist
iddynt ei wneuthur: am hynny y peraist i'r
holl niweid hyn ddigwydd iddynt.
24 Wele, § peiriannau ergydion a ddaeth § Neu,
ar y ddinas i'w goresgyn hi; a'r ddinas a *gwrth-*
roddir i law 'r Caldeaid, y rhai sydd yn *glawdd.*
ymladd yn ei herbyn, o herwydd y cleddyf,

a'r newyn, a'r haint: *a'r* hyn a ddywedaist
ti, a gwblhawyd; ac wele, ti a'i gweli.
25 A thi a ddywedaist wrthyf, O AR-
GLWYDD DDUW, Pryn i ti y maes ag arian,
a chymmer dystion; gan fod y ddinas wedi
ei rhoddi i law 'r Caldeaid.
26 ¶ Yna y daeth gair yr ARGLWYDD at
Jeremi, gan ddywedyd,
l Num. 16. 22. 27 Wele, myfi *yw*'r ARGLWYDD, l Duw
pob cnawd: † a oes dim ‡ rhy anhawdd i
† Adn. 17. mi?
‡ Neu, *cuddiedig rhagof i.* 28 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD: Wele fi yn rhoddi 'r ddinas hon
yn llaw 'r Caldeaid, ac yn llaw Nebuchodo-
nosor brenhin Babilon, ac efe a'i hennill hi.
29 A'r Caldeaid, y rhai a ryfelant yn er-
m Pen. 21. 10. byn y ddinas hon, a ddeuant ac m a ffaglant
y ddinas hon â thân, ac a'i llosgant hi, a'r
n Pen. 19. 13. tai n y rhai yr arogl-darthasant ar eu pennau
i Baal, ac y tywalltasant ddïod-offrwm i
dduwiau dïeithr, i'm digio i.
30 Oblegid meibion Israel, a meibion
Judah, oeddynt yn gwneuthur yn unig yr
hyn oedd ddrwg yn fy ngolwg i o'u mebyd:
o herwydd meibion Israel oeddynt yn unig
yn fy nigio i â gweithredoedd eu dwylaw,
medd yr ARGLWYDD.
31 Canys i'm digofaint, ac i'm llid, y bu
y ddinas hon i mi, er y dydd yr adeilada-
sant hi hyd y dydd hwn, i beri ei symmud
oddi ger bron fy wyneb:
32 Am holl ddrygioni meibion Israel a
meibion Judah, y rhai a wnaethant i'm digio
i, hwynt-hwy, eu brenhinoedd, eu tywysog-
ion, eu hoffeiriaid, a'u prophwydi, a gwŷr
Judah, a phreswylwŷr Jerusalem.
33 Er i mi *eu* dysgu, gan fore-godi i roddi
addysg *iddynt*, etto ni wrandawsant i gym-
meryd athrawiaeth; eithr troisant attaf fi
§ Pen. 2. 27. a 7. 24. eu § gwarrau, ac nid eu hwynebau:
34 Eithr o gosodasant eu ffieidd-dra yn y
o Pen. 7. 30, 31. a 23. 11. Ezec. 8. 5, 6. tŷ y gelwir fy enw arno, i'w halogi ef.
35 A hwy a adeiladasant uchelfeydd Baal,
y rhai *sydd* yn nyffryn mab Hinnom, i
p Pen. 19. 5. p wneuthur i'w meibion a'u merched fyned
trwy 'r *tân* i q Molech; yr hyn ni orchymyn-
q Lef. 18. 21. ais iddynt, ac ni feddyliodd fy nghalon
iddynt wneuthur y ffieidd-dra hyn, i beri i
Judah bechu.
36 ¶ Ac yn awr am hynny fel hyn y
dywed yr ARGLWYDD, DUW Israel, am y
r Deut. 30. 3. ddinas hon, am yr hon y dywedwch chwi,
Rhoddir hi i law brenhin Babilon, trwy 'r
Pen. 23. 3. a 29. 14. a 31. 10. cleddyf, a thrwy newyn, a thrwy haint.
37 Wele, myfi r a'u cynnullaf hwynt o'r
s Pen. 24. 7. a 30. 22. a 31. 33. holl diroedd, y rhai yn fy nig a'm llid a'm
sorriant mawr y gyrrais hwynt iddynt: ac
a'u dygaf yn eu hol i'r lle hwn, ac a wnaf
t Ezec. 11. 19. iddynt breswylio yn ddïogel.
38 A s hwy a fyddant yn bobl i mi, a
‖ Heb. *yr holl ddyddiau.* minnau a fyddaf yn DDUW iddynt hwy-
thau.
u Pen. 31. 31. 39 A mi t a roddaf iddynt un galon ac un
ffordd, i'm hofni ‖ byth, er lles iddynt ac
† Heb. *oddi ar eu hol hwynt.* i'w meibion ar eu hol.
40 A u mi a wnaf â hwynt gyfammod
x Deut. 30. 9. tragywyddol, na throaf † oddi wrthynt,
heb wneuthur lles iddynt; a mi a osodaf
Seph. 3. 17. fy ofn yn eu calonnau, fel na chiliont oddi
y Pen. 24. 6. wrthyf.
Amos 9. 15. 41 Ië, x mi a lawenychaf ynddynt, gan
‡ Heb. *mewn gwirionedd, neu, mewn sicrwydd.* wneuthur lles iddynt, a y mi a'u plannaf
hwynt yn y tir hwn ‡ yn sicr, â'm holl galon
ac â'm holl enaid.
42 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD;
Megis y dygais i ar y bobl hyn yr holl fawr
ddrwg hyn, felly y dygaf fi arnynt yr holl
ddaioni a addewais iddynt.
43 A meusydd a feddiennir yn y wlad
yma, *am* yr hon yr ydych chwi yn dywedyd,
Anghyfannedd *yw* hi, heb ddyn nac anifail;
yn llaw 'r Caldeaid y rhoddwyd hi.
44 Meusydd a brynant am arian, ac a
'sgrifenant mewn llyfrau, ac a'u seliant, ac
a gymmerant dystion yn z nhir Benjamin, z Pen. 17. 26.
ac yn amgylchoedd Jerusalem, ac yn nina-
soedd Judah, ac yn ninasoedd y myny-
ddoedd, ac yn ninasoedd y gwastad, ac yn
ninasoedd y deau: canys a mi a ddych- a Pen. 33. 7, 11, 26.
welaf eu caethiwed hwynt, medd yr AR-
GLWYDD.

## PEN. XXXIII.

1 *Duw yn addo i'r gaeth-glud rasusol ddy-* Awst 3. B.
*chweliad, 9 a llawen gyflwr, 12 a llyw-*
*odraeth ddiysgog, 15 a Christ, Blaguryn*
*cyfiawnder; 17 y parhâi eu brenhiniaeth*
*a'u hoffeiriadaeth; 20 a sicrwydd o had*
*bendigedig.*

GAIR yr ARGLWYDD hefyd a ddaeth at Cylch 590.
Jeremi yr ail waith (ac efe etto a yn
garcharor ynghyntedd y carchardy) gan a Pen. 32. 2, 3.
ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD b yr b Esay 37. 26.
hwn a'i gwnaeth, yr ARGLWYDD yr hwn
a'i lluniodd i'w sicrhâu, yr ARGLWYDD *yw*
ei enw:
3 Galw arnaf, a mi a'th attebaf, ac a
ddangosaf i ti *bethau* mawrion, a † chedyrn, † Neu, *dirgel.*
y rhai ni's gwyddost.
4 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
DUW Israel, am dai y ddinas hon, ac am
dai brenhinoedd Judah, y rhai a ddiny-
striwyd â pheirannau rhyfel, ac â chled-
dyf;
5 Y maent yn dyfod i ymladd â'r Cal-
deaid, ond i'w llenwi â chelanedd dyn-
ion, y rhai a leddais yn fy llid a'm dig-
ofaint, ac am i mi guddio fy wyneb oddi
wrth y ddinas hon am eu holl ddrygioni
hwynt.
6 Wele, myfi a ddygaf iddi hi iechyd a
meddyginiaeth, a mi a'u meddyginiaethaf
hwynt, ac a ddadguddiaf iddynt amlder o
heddwch a gwirionedd.
7 A c mi a ddychwelaf gaethiwed Judah, c Pen. 32. 44.
a chaethiwed Israel, a d mi a'u hadeiladaf
hwynt megis yn y dechreuad. d Pen. 24. 6. a 31. 4. a 42. 10.
8 A mi a'u puraf hwynt oddi wrth eu holl
anwiredd a bechasant i'm herbyn; a mi e a e Pen. 31. 34.
faddeuaf iddynt eu holl bechodau *trwy*'r
rhai y pechasant i'm herbyn, a *thrwy*'r Mich. 7. 18.
rhai y troseddasant yn fy erbyn.
9 ¶ A *hyn* fydd i mi yn enw llawenydd,
yn glod ac yn ogoniant o flaen holl gen-
hedloedd y ddaear, y rhai a glywant yr
holl ddaioni yr ydwyf fi yn ei wneu-
thur iddynt: a hwythau a ofnant ac a
grynant am yr holl ddaioni a'r holl lwy-
ddiant yr ydwyf fi yn eu gwneuthur i'r
*ddinas* hon.
10 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD;
Clywir etto yn y lle hwn (*am* yr hwn
y dywedwch, Anialwch *yw* efe, heb ddyn
ac heb anifail, yn ninasoedd Judah, ac yn
heolydd Jerusalem, y rhai a wnaed yn ang-
hyfannedd, heb ddyn ac heb breswylwr, ac
heb anifail) f Pen. 7. 34. a 16. 9.
11 f Llef gorfoledd a llef llawenydd, llef y
prïod-fab a llef y brïod-ferch, llef rhai g 2 Chron. 7. 3.
yn dywedyd, g Molwch ARGLWYDD Psal. 136. 1.
y lluoedd; o herwydd daionus *yw*'r

ARGLWYDD, oblegid ei drugaredd *a bery*
yn dragywydd; *llef* rhai yn dwyn offrwm
[h] Adn. 7. moliant i dŷ'r ARGLWYDD: canys [h] mi a
ddychwelaf gaethiwed y wlad, megis yn y
dechreuad, medd yr ARGLWYDD.
12 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd,
Bydd etto yn y lle yma, *yr hwn sydd*
anghyfanneddol heb ddyn ac heb anifail, ac
yn ei holl ddinasoedd, drigfa bugeiliaid yn
corlannu'r praidd.
[i] Pen. 17. 13 [i] Yn ninasoedd y mynydd, yn ninas-
26. a 32. 44. oedd y gwastad, ac yn ninasoedd y deau, ac
yngwlâd Benjamin, ac yn amgylchoedd Je-
[k] Lef. 27. rusalem, ac yn ninasoedd Judah, [k] yr â de-
32. faid etto, dan law'r hwn sy'n *eu* rhifo, medd
yr ARGLWYDD.
14 Wele'r dyddiau'n dyfod, medd yr AR-
GLWYDD, fel y cyflawnwyf y peth daionus a
addewais i dŷ Israel, ac i dŷ Judah.
15 ¶ Yn y dyddiau hynny, ac yn yr amser
[l] Esay 11. hwnnw, y paraf i [l] Flaguryn cyfiawnder
1. a 4. 2. flaguro i Ddafydd; ac efe a wna farn a
Pen. 23. 5. chyfiawnder yn y tir.
16 Yn y dyddiau hynny Judah a waredir,
a Jerusalem a breswylia yn ddïogel; a hwn
* Heb. *yw'r enw* y gelwir ef, † Yr ARGLWYDD ein
*Jehovah-* cyfiawnder.
*tsidcenu.* 17 ¶ Canys fel hyn y dywed yr AR-
[m] 2 Sam. 7. GLWYDD, [m] Ni ‡ phalla i Ddafydd wr yn
16. eistedd ar frenhinfaingc tŷ Israel.
1 Bren. 2. 18 Ac ni phalla i'r offeiriaid y Lefiaid wr
4. ger fy mron i, i offrymmu poeth-offrwm, ac
‡ Heb. i offrymmu bwyd-offrwm, ac i wneuthur
*thorrir* aberth yn dragywydd.
*ymaith*
*oddi wrth*
*Ddafydd.* 19 ¶ A gair yr ARGLWYDD a ddaeth at
Jeremi, gan ddywedyd,
[n] Esay 54. 20 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, [n] Os
9. Pen. 31. 36. gellwch ddiddymmu fy nghyfammod â'r
dydd, a'm cyfammod â'r nos, ac na byddo
dydd a nos yn eu hamser;
21 Yna y diddymmir fy nghyfammod â
Dafydd fy ngwas, na byddo iddo fab yn
teyrnasu ar ei deyrn-gadair ef, ac â'r Lefiaid
yr offeiriaid fy ngweinidogion.
[o] Gen. 13. 22 [o] Megis na ellir cyfrif llu'r nefoedd, ac
16. a 15. 5. na ellir mesur tywod y môr; felly myfi a
a 22. 17. Pen. 31. 37. amlhâf had Dafydd fy ngwas, a'r Lefiaid y
rhai sydd yn gweini i mi.
23 Hefyd, gair yr ARGLWYDD a ddaeth
at Jeremi, gan ddywedyd,
24 Oni weli di pa beth y mae'r bobl hyn
yn ei lefaru, gan ddywedyd, Y ddau deulu
a ddewisodd yr ARGLWYDD, efe a'u gwrth-
ododd hwynt? felly y dirmygasant fy mhobl,
fel nad ydynt mwyach yn genedl yn eu
golwg hwynt.
25 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Os fy
nghyfammod â'r dydd ac â'r nos ni *saif, ac*
*oni* osodais i ddefodau'r nefoedd a'r ddaear:
26 Yna had Jacob a Dafydd fy ngwas a
wrthodaf fi, fel na chymmerwyf o'i had ef
lywodraethwŷr ar had Abraham, Isaac, a
[p] Adn. 7, Jacob: canys [p] mi a ddychwelaf eu caeth-
11. iwed hwynt, ac a drugarhâf wrthynt.

## PEN. XXXIV.

Awst 3. P. 1 *Jeremi yn prophwydo caethiwed Sedecïah,*
*a'r ddinas.* 8 *Y tywysogion a'r bobl, wedi*
*iddynt ryddhâu eu caeth-weision, yngwrth-*
*wyneb i gyfammod Duw, yn eu cymmeryd*
*hwy drachefn.* 12 *Jeremi, am eu hanufudd-*
Cylch *dod, yn eu rhoddi hwy a Sedecïah yn nwy-*
591. *law eu gelynion.*

[a] 2 Bren. Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi
25. 1, &c. Pen. 52. 1. wrth yr ARGLWYDD ([a] pan oedd
Nebuchodonosor brenhin Babilon, a'i holl
lu, a holl deyrnasoedd y ddaear *y rhai oedd*
dan lywodraeth ei law ef, a'r holl bobl-
oedd, yn rhyfela yn erbyn Jerusalem, ac
yn erbyn ei holl ddinasoedd hi) gan ddy-
wedyd,
2 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Duw
Israel, Dos, a llefara wrth Sedecïah frenhin
Judah, a dywed wrtho, [b] Fel hyn y dywed [b] Pen. 32.
yr ARGLWYDD, Wele fi yn rhoddi y ddinas 3.
hon i law brenhin Babilon, ac [c] efe a'i llysg [c] Pen. 32.
hi â thân: 29.
3 Ac [d] ni ddïengi dithau o'i law ef, canys [d] Pen. 32.
dïau y'th ddêlir, ac y'th roddir i'w law ef; 4.
a'th lygaid di a gânt weled llygaid brenhin
Babilon, a'i enau ef a ymddiddan â'th enau
di, a thithau a ai i Babilon.
4 Er hynny, O Sedecïah brenhin Judah,
gwrando air yr ARGLWYDD; Fel hyn y
dywed yr ARGLWYDD am danat ti, Ni
byddi di farw trwy'r cleddyf:
5 Mewn heddwch y byddi farw: a hwy
a losgant *ber-aroglau* i ti, fel [e] y llosgwyd [e] Edrych
i'th dadau, y brenhinoedd gynt, y rhai a 2 Chron. 16.
fu o'th flaen di; a [f] hwy a alarant am 14. a 21. 19. [f] Edrych
danat ti, *gan ddywedyd,* Ob arglwydd! Pen. 22. 18.
canys myfi a ddywedais y gair, medd yr
ARGLWYDD.
6 Yna Jeremi y prophwyd a lefarodd wrth
Sedecïah frenhin Judah yr holl eiriau hyn
yn Jerusalem,
7 Pan oedd llu brenhin Babilon yn rhy-
fela yn erbyn Jerusalem, ac yn erbyn holl
ddinasoedd Judah y rhai a adawsid, yn
erbyn Lachis, ac yn erbyn Azecah: canys
y dinasoedd caerog hyn a adawsid o ddi-
nasoedd Judah.
8 ¶ Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi Cylch
oddi wrth yr ARGLWYDD, wedi i'r brenhin 591.
Sedecïah wneuthur cyfammod â'r holl bobl
*oedd* yn Jerusalem, am gyhoeddi iddynt
[g] ryddid; [g] Exod. 21.
9 [h] I ollwng o bob un ei wasanaethwr, a 1.
phob un ei wasanaethferch, *y rhai fyddent* [h] Neh. 5.
Hebread neu Hebrees, yn rhyddion; ac na 11.
cheisiai neb wasanaeth ganddynt, *sef* gan ei
frawd o Iuddew.
10 A phan glybu'r holl bennaethiaid,
a'r holl bobl y rhai a aethent i'r cyfam-
mod, am ollwng o bob un ei wasanaethwr
a phob un ei wasanaethferch yn rhyddion,
fel na cheisient wasanaeth ganddynt mwy-
ach, yna hwy a wrandawsant, ac a'*u* gollyng-
asant ymaith.
11 Ond wedi hynny yr edifarhaodd arnynt, Cylch
a hwy a ddygasant yn eu hol eu gweision 590.
a'u morwynion, y rhai a ollyngasent yn
rhyddion, ac a'u caethiwasant hwy yn
weision ac yn forwynion.
12 ¶ Am hynny y daeth gair yr AR-
GLWYDD at Jeremi oddi wrth yr AR-
GLWYDD, gan ddywedyd,
13 Fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW
Israel, Mi a wneuthum gyfammod â'ch ta-
dau chwi, y dydd y dygais hwynt allan o dir
yr Aipht, o dŷ'r caethiwed, gan ddywedyd,
14 Ym mhen [i] saith mlynedd gollyngwch [i] Exod. 21,
bob un ei frawd o Hebread, yr hwn a 2. Deut. 15.
† werthwyd i ti, ac a'th wasanaethodd chwe 12.
blynedd; gollwng ef yn rhŷdd oddi wrthyt: † Neu,
ond ni wrandawodd eich tadau arnaf, ac ni *ymwerth-*
ogwyddasant eu clustiau. *odd.*
15 A chwithau a gymmerasech edifeir-
wch heddyw, ac a wnaethech yr hyn oedd
uniawn yn fy ngolwg, am gyhoeddi rhydd-
id bob un i'w gymmydog; a chwi a

wnaethech gyfammod yn fy ngŵydd i, yn
y tŷ y gelwir fy enw arno.
16 Ond chwi a ddychwelasoch, ac a
halogasoch fy enw, ac a ddygasoch yn eu
hol bob un ei wasanaethwr, a phob un
ei wasanaethferch, y rhai a ollyngasech yn
rhyddion wrth eu hewyllys eu hun: caeth-
iwasoch hwynt hefyd i fod yn weision ac yn
forwynion i chwi.
17 Am hynny fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd, Ni wrandawsoch arnaf fi, gan
gyhoeddi rhyddid bob un i'w frawd, a
phob un i'w gymmydog: wele fi yn cy-
hoeddi i'ch erbyn, medd yr Arglwydd,
ryddid i'r cleddyf, i'r haint, ac i'r newyn,
† Heb. a'ch rhoddaf yn gynnwrf. ac mi † a wnaf eich [k] symmud chwi i holl
deyrnasoedd y ddaear.
18 A mi a roddaf y dynion a droseddodd
fy nghyfammod, y rhai ni chwblhasant
[k] Deut. 28. 25. Pen. 29. 18. eiriau'r cyfammod a wnaethant ger fy
mron, wedi iddynt fyned rhwng rhannau'r
[l] Edrych Gen. 15. 10, 17. llo, [l] yr hwn a holltasent yn ddau,
19 Tywysogion Judah, a thywysogion Je-
rusalem, yr ystafellyddion, a'r offeiriaid,
a holl bobl y wlad y rhai a aethant rhwng
rhannau'r llo,
20 Ië, mi a'u rhoddaf hwynt yn llaw eu
gelynion, ac yn llaw y rhai sydd yn ceisio
[m] Pen. 7. 33. a 16. 4. eu heinioes: [m] a'u celain fydd yn fwyd
i ehediaid y nefoedd, ac i anifeiliaid y
ddaear.
21 A mi a roddaf Sedecïah frenhin Judah,
a'i dywysogion, i law eu gelynion, ac i law
y rhai sy'n ceisio eu heinioes, ac yn llaw llu
[n] Edrych Pen. 37. 5, 11. brenhin Babilon, [n] y rhai a aethant i fynu
oddi wrthych.
22 Wele, mi a orchymynaf, medd yr Ar-
glwydd, ac a wnaf iddynt droi yn ol at y
ddinas hon, a hwy a ryfelant yn ei herbyn
hi, ac a'i goresgynant hi, ac a'i llosgant hi â
thân: ac mi a wnaf ddinasoedd Judah yn
anghyfannedd heb breswylydd.

## PEN. XXXV.

Awst 4. B. Sul 15 ar ol y Drindod, B. 1 *Trwy ddangos ufudd-dod y Rechabiaid,* 12
*y mae Jeremi yn barnu ar anufudd-dod yr*
*Iuddewon.* 13 *Duw yn bendithio'r Rechab-*
*iaid am eu hufudd-dod.*

Cylch 607. Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi
wrth yr Arglwydd, yn nyddiau Je-
hoiacim mab Josïah brenhin Judah, gan
ddywedyd,
[a] 1 Chron. 2. 55. 2 Dos di i [a] dŷ'r Rechabiaid, a llefara
wrthynt, a phar iddynt ddyfod i dŷ'r Ar-
glwydd, i un o'r ystafelloedd, a dod iddynt
win i'w yfed.
3 Yna myfi a gymmerais Jaazanïah, fab
Jeremïah, fab Habaziniah, a'i frodyr, a'i holl
feibion, a holl deulu'r Rechabiaid;
4 A mi a'u dygais hwynt i dŷ'r Ar-
glwydd, i ystafell meibion Hanan fab Igda-
liah, gwr i Dduw, yr hon *oedd* wrth ystafell
y tywysogion, yr hon *sydd* goruwch ystafell
† Heb. drothwy, neu, dodrefn. Maaseiah mab Sàlum, ceidwad y † drws.
5 A mi a roddais ger bron meibion tŷ'r
Rechabiaid phiolau yn llawn o win, a
chwppanau, a mi a ddywedais wrthynt,
Yfwch win.
6 Ond hwy a ddywedasant, Nid yfwn ni
[b] 2 Bren. 10. 15. ddim gwin: o herwydd [b] Jonadab mab
Rechab ein tad a roddodd i ni orchymyn,
gan ddywedyd, Nac yfwch win, *na* chwy-
chwi na'ch plant, yn dragywydd.
7 Na adeiledwch dŷ, ac na heuwch had,
ac na phlennwch winllan, ac na fydded gen-
nych chwi: ond mewn pebyll y preswyl-
iwch eich holl ddyddiau; fel y byddoch
chwi fyw ddyddiau lawer ar wyneb y
ddaear, lle'r *ydych* yn ddieithriaid.
8 A nyni a wrandawsom ar lais Jonadab
mab Rechab ein tad, am bob peth a orchy-
mynodd efe i ni; nad yfem ni win ein holl
ddyddiau, nyni, ein gwragedd, ein meibion,
a'n merched;
9 Ac nad adeiladem i ni dai i'w pre-
swylio; ac nid oes gennym na gwinllan, na
maes, na had.
10 Eithr trigo a wnaethom mewn pebyll,
a gwrandaw, a gwneuthur yn ol yr hyn oll a
orchymynodd Jonadab ein tad i ni.
11 Ond pan ddaeth Nebuchodonosor bren-
hin Babilon i fynu i'r wlad, nyni a ddywed-
asom, Deuwch, ac awn i Jerusalem, rhag
llu'r Caldeaid, a rhag llu'r Assyriaid: ac
yn Jerusalem yr ydym ni yn preswylio.
12 ¶ Yna y daeth gair yr Arglwydd at
Jeremi, gan ddywedyd,
13 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd,
Duw Israel, Dos, a dywed wrth wŷr
Judah, ac wrth breswylwŷr Jerusalem, Oni
chymmerwch chwi addysg i wrando ar fy
ngeiriau? medd yr Arglwydd.
14 Geiriau Jonadab mab Rechab, y rhai
a orchymynodd efe i'w feibion, nad yfent
win, a gyflawnwyd: canys nid yfant hwy
*win* hyd y dydd hwn; ond hwy a wran-
dawant ar orchymyn eu tad: a minnau
a ddywedais wrthych chwi, [c] gan godi'n [c] Pen. 7. 13, 25.
fore, a llefaru; ond ni wrandawsoch ar-
naf.
15 Myfi a anfonais hefyd attoch chwi fy
holl weision y prophwydi, gan godi'n fore,
ac anfon, gan ddywedyd, [d] Dychwelwch yn [d] Pen. 18. 11. a 25. 5.
awr bawb oddi wrth ei ffordd ddrwg, a
gwellhèwch eich gweithredoedd, ac nac
ewch ar ol duwiau dieithr, i'w gwasa-
naethu hwynt; a chwi a drigwch yn y
wlad yr hon a roddais i chwi ac i'ch tadau:
ond ni ogwyddasoch eich clustiau, ac ni
wrandawsoch arnaf.
16 Gan i feibion Jonadab mab Rechab
gyflawni gorchymyn eu tad, yr hwn a or-
chymynodd efe iddynt; ond y bobl yma ni
wrandawsant arnaf fi:
17 Am hynny fel hyn y dywed Ar-
glwydd Dduw y lluoedd, Duw Israel,
Wele fi'n dwyn ar Judah, ac ar holl drigol-
ion Jerusalem, yr holl ddrwg a leferais yn
eu herbyn: o herwydd i mi ddywedyd
wrthynt, ond ni wrandawsant; a galw
arnynt, ond nid attebasant.
18 ¶ A Jeremi a ddywedodd wrth dy-
lwyth y Rechabiaid, Fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd, Duw Israel, O herwydd
i chwi wrando ar orchymyn Jonadab eich
tad, a chadw ei holl orchymynion ef, a
gwneuthur yn ol yr hyn oll a orchymynodd
efe i chwi:
19 Am hynny fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd, Duw Israel; ‡ Ni ‡ Heb. Ni thorrir ymaith i Jonadab.
phalla i Jonadab fab Rechab wr i sefyll
ger fy mron i yn dragywydd.

## PEN. XXXVI.

1 *Jeremi yn peri i Baruch ysgrifenu ei bro-* Awst 4. P. Sul 15 ar ol y Drindod, P.
*phwydoliaeth ef,* 5 *a'i darllain ar gyhoedd.*
11 *Y tywysogion, wedi cael gwybodaeth o*
*hynny trwy Michaiah, yn anfon Jehudi i*
*gyrchu'r llyfr, ac yn ei ddarllain:* 19 *yn*
*erchi i Baruch ymguddio, efe a Jeremi.* 20
*Y brenhin Jehoiacim wedi clywed son am*
*y llyfr, yn gwrando peth o hono, ac yn ei*

*losgi ef. 27 Jeremi yn adrodd ei farn ef. 32 Baruch yn ysgrifenu'r llyfr o newydd.*

Cylch 607. AC yn y bedwaredd flwyddyn i Jehoiacim fab Josïah frenhin Judah, y daeth y gair hwn oddi wrth yr ARGLWYDD at Jeremi, gan ddywedyd,

a Esay 8. 1. b Pen. 30. 2. c Pen. 25. 3.

2 Cymmer i ti [a] blyg llyfr, ac [b] ysgrifena ynddo yr holl eiriau a leferais i wrthyt yn erbyn Israel, ac yn erbyn Judah, ac yn erbyn yr holl genhedloedd, o'r dydd y lleferais i wrthyt ti, er dyddiau [c] Josïah hyd y dydd hwn.

3 Fe allai pan glywo tŷ Judah yr holl ddrwg yr ydwyf fi yn amcanu ei wneuthur iddynt, y dychwelant bob un o'i ffordd ddrygionus, fel y maddeuwyf eu hanwiredd a'u pechod.

d Pen. 45. 1.

4 Yna Jeremi a alwodd Baruch fab Nerïah; a [d] Baruch a 'sgrifenodd o enau Jeremi holl eiriau'r ARGLWYDD, y rhai a lefarasai efe wrtho, mewn plyg llyfr.

5 A Jeremi a orchymynodd i Baruch, gan ddywedyd, Cauwyd arnaf fi, ni allaf fi fyned i dŷ'r ARGLWYDD.

6 Am hynny dos di, a darllain o'r llyfr a'sgrifenaist o'm genau, eiriau'r ARGLWYDD, lle y clywo'r bobl, *yn* nhŷ'r ARGLWYDD, ar y dydd ympryd; a lle y clywo holl Judah hefyd, y rhai a ddelont o'u dinasoedd, y darlleni di hwynt.

† Heb. *y cwymp eu deisyfiad.*

7 Fe allai † y daw eu gweddi hwynt ger bron yr ARGLWYDD, ac y dychwelant bob un o'i ffordd ddrygionus: canys mawr *yw* y llid a'r digofaint a draethodd yr ARGLWYDD yn erbyn y bobl hyn.

8 Felly Baruch mab Nerïah a wnaeth yn ol yr hyn oll a orchymynasai Jeremi y prophwyd iddo, gan ddarllain o'r llyfr eiriau'r ARGLWYDD *yn* nhŷ'r ARGLWYDD.

Cylch 606. 9 Ac yn y bummed flwyddyn i Jehoiacim fab Josïah brenhin Judah, ar y nawfed mis, y cyhoeddasant ympryd ger bron yr ARGLWYDD, i'r holl bobl yn Jerusalem, ac i'r holl bobl a ddaethent o ddinasoedd Judah i Jerusalem.

10 Yna Baruch a ddarllenodd o'r llyfr eiriau Jeremi, *yn* nhŷ'r ARGLWYDD, yn ystafell Gemarïah mab Saphan y 'sgrifenydd, yn y cyntedd uchaf, wrth [e] ddrws porth newydd tŷ'r ARGLWYDD, lle y clybu'r holl bobl.

e Pen. 26. 10.

11 ¶ Pan glybu Michaiah mab Gemarïah, fab Saphan, holl eiriau'r ARGLWYDD allan o'r llyfr;

12 Yna efe a aeth i wared i dŷ'r brenhin i'stafell yr ysgrifenydd: ac wele, yr holl dywysogion oedd yno yn eistedd; *sef* Elisama'r ysgrifenydd, a Delaiah mab Semaiah, ac Elnathan mab Achbor, a Gemarïah mab Saphan, a Sedecïah mab Hananïah, a'r holl dywysogion.

13 A Michaiah a fynegodd iddynt yr holl eiriau a glywsai efe pan ddarllenasai Baruch y llyfr lle y clybu'r bobl.

14 Yna'r holl dywysogion a anfonasant Jehudi mab Nethanïah, fab Selemïah, fab Cusi, at Baruch, gan ddywedyd, Cymmer yn dy law y llyfr y darllenaist allan o hono lle y clybu'r bobl, a thyred. Felly Baruch mab Nerïah a gymmerodd y llyfr yn ei law, ac a ddaeth attynt.

15 A hwy a ddywedasant wrtho, Eistedd yn awr, a darllain ef lle y clywom ni. Felly Baruch a'i darllenodd lle y clywsant hwy.

16 A phan glywsant yr holl eiriau, hwy a ofnasant bawb gyd â'u gilydd; a hwy a ddywedasant wrth Baruch, Gan fynegi mynegwn yr holl eiriau hyn i'r brenhin.

17 A hwy a ofynasant i Baruch, gan ddywedyd, Mynega i ni yn awr, Pa fodd yr ysgrifenaist ti yr holl eiriau hyn o'i enau ef?

18 Yna Baruch a ddywedodd wrthynt, Efe a draethodd yr holl eiriau hyn wrthyf fi â'i enau, a minnau a'u 'sgrifenais *hwynt* yn y llyfr ag ingc.

19 Yna y tywysogion a ddywedasant wrth Baruch, Dos ac ymguddia, ti a Jeremi; ac na wyped neb pa le *y byddoch* chwi.

20 ¶ A hwy a aethant at y brenhin i'r cyntedd (ond hwy a gadwasant y llyfr yn ystafell Elisama'r ysgrifenydd,) ac a fynegasant yr holl eiriau lle y clybu'r brenhin.

21 A'r brenhin a anfonodd Jehudi i gyrchu'r llyfr. Ac efe a'i dug ef o 'stafell Elisama yr ysgrifenydd. A Jehudi a'i darllenodd lle y clybu'r brenhin, a lle y clybu'r holl dywysogion oedd yn sefyll yn ymyl y brenhin.

22 A'r brenhin oedd yn eistedd yn [f] y gauafdy, yn y nawfed mis; a thân wedi ei gynneu ger ei fron.

f Edrych Amos 3. 15.

23 A phan ddarllenasai Jehudi dair dalen neu bedair, *yna* efe a'i torrodd â chyllell ysgrifenydd, ac a'i bwriodd i'r tân *oedd* yn yr aelwyd, nes darfod o'r holl lyfr gan y tân *oedd* ar yr aelwyd.

24 Etto nid ofnasant, ac ni [g] rwygasant eu dillad, *na*'r brenhin, nac yr un o'i weision y rhai a glywsant yr holl eiriau hyn.

g 2 Bren. 22. 11.

25 Etto Elnathan, a Delaiah, a Gemarïah, a ymbiliasant â'r brenhin na losgai efe'r llyfr; ond ni wrandawai efe arnynt.

26 Ond y brenhin a orchymynodd i Jerameel mab ‡ Hammelech, a Seraiah fab Azrïel, a Selemïah fab Abdïel, ddala Baruch yr ysgrifenydd, a Jeremi y prophwyd: ond yr ARGLWYDD a'u cuddiodd hwynt.

‡ Neu, *y brenhin.*

27 ¶ Yna y daeth gair yr ARGLWYDD at Jeremi (wedi i'r brenhin losgi'r llyfr, a'r geiriau a 'sgrifenasai Baruch o enau Jeremi) gan ddywedyd, 605.

28 Cymmer i ti etto lyfr arall, a 'sgrifena arno yr holl eiriau cyntaf y rhai oedd yn y llyfr cyntaf, yr hwn a losgodd Jehoiacim brenhin Judah:

29 A dywed wrth Jehoiacim frenhin Judah, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Ti a losgaist y llyfr hwn, gan ddywedyd, Pa ham yr ysgrifenaist ynddo, gan ddywedyd, Diau y daw brenhin Babilon, ac a anrheithia'r wlad hon; ac efe a wna i ddyn ac i anifail ddarfod o honi?

30 Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD am Jehoiacim brenhin Judah; Ni bydd iddo ef a eisteddo ar frenhinfainge Dafydd: [h] a'i gelain ef a fwrir allan i wres y dydd, ac i rew'r nos.

h Pen. 22. 19.

31 A mi a ymwelaf ag ef, ac â'i had, ac â'i weision, am eu hanwiredd; a mi a ddygaf arnynt hwy, ac ar drigolion Jerusalem, ac ar wŷr Judah, yr holl ddrwg a leferais i'w herbyn, ond ni wrandawsant.

32 ¶ Yna Jeremi a gymmerth lyfr arall, ac a'i rhoddodd at Baruch fab Nerïah 'r ysgrifenydd; ac efe a 'sgrifenodd ynddo o enau Jeremi holl eiriau'r llyfr a losgasai Jehoiacim brenhin Judah yn tân: a 'chwanegwyd attynt etto eiriau lawer fel hwythau.

## PEN. XXXVII.

Awst 5. B. 1 *Wedi darfod i'r Aiphtiaid yrru'r Caldeaid
ymaith o warchae ar Jerusalem, y mae'r
brenhin Sedecïah yn anfon at Jeremi i we-
ddio dros y bobl. 6 Jeremi yn prophwydo y
dychwelai'r Caldeaid, ac y gorchfygent. 11
Ei ddal ef megis ffoadur, a'i faeddu, a'i
garcharu. 16 Y mae efe yn sicrhau Sede-
cïah o'r gaethiwed: 18 yn ymbil am gael ei
ollwng yn rhydd; ac yn cael peth ffafr.*

Cylch A'R brenhin [a] Sedecïah mab Josïah a
599. deyrnasodd yn lle Conïah fab Jehoia-
[a] 2 Bren. 24. 17. cim, yr hwn a wnaeth Nebuchodonosor
1 Chron. 3. brenhin Babilon yn frenhin yngwlâd Judah.
15. 2 Ond ni wrandawodd efe, na'i weision,
2 Chron. 36. 10. na phobl y tir, ar eiriau'r ARGLWYDD, y
Pen. 22. 24. rhai a draethodd efe trwy law Jeremi y pro-
phwyd.
590. 3 A'r brenhin Sedecïah a anfonodd Jehu-
[b] Pen. 29. 25. a 52. chal fab Selemïah, a [b] Sephanïah fab Maa-
24. seiah'r offeiriad, at Jeremi y prophwyd, gan
ddywedyd, Gweddïa, *attolwg*, drosom ni ar
yr ARGLWYDD ein DUW.
4 A Jeremi *oedd* yn myned i mewn ac
allan ym mysg y bobl: canys ni roddasent
hwy ef *etto* yn y carchardy.
[c] Edrych 5 A [c] llu Pharaoh a ddaethai allan o'r
2 Bren. 24. Aipht: a [d] phan glybu'r Caldeaid *oedd* yn
7. gwarchae ar Jerusalem son am danynt, hwy
[d] Pen. 34. a aethant ymaith oddi wrth Jerusalem.
21. 6 ¶ Yna gair yr ARGLWYDD a ddaeth at
Jeremi y prophwyd, gan ddywedyd,
7 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
DUW Israel; Fel hyn y dywedwch chwi
wrth frenhin Judah, yr hwn a'ch anfonodd
chwi attaf fi i ymofyn â mi; Wele, llu Pha-
raoh, yr hwn a ddaeth allan yn gynhorth-
wy i chwi, a ddychwel i'w wlad ei hun i'r
Aipht.
8 A'r Caldeaid a ddychwelant, ac a ryfel-
ant yn erbyn y ddinas hon, ac a'i hynnill-
ant, ac a'i llosgant â thân.
9 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Na
† Heb. thwyllwch † eich hunain, gan ddywedyd,
*eich eneidiau.* Dïau yr â'r Caldeaid oddi wrthym ni: oble-
gid nid ant hwy.
10 Canys pe tarawech chwi holl lu'r
Caldeaid y rhai sydd yn rhyfela i'ch er-
byn, fel *na* weddillid o honynt *ond* gwŷr
‡ Heb. ‡ archolledig, *etto* hwy a gyfodent bob un
*wedi eu trywanu.* yn ei babell, ac a losgent y ddinas hon â thân.
11 ¶ A phan aeth llu'r Caldeaid § ymaith
§ Heb. *i fynu.* oddi wrth Jerusalem, rhag llu Pharaoh;
12 Yna Jeremi a aeth allan o Jerusalem,
‖ Neu, *ymneilltuo.* i fyned i wlad Benjamin, i ‖ ymlithro oddi
yno ynghanol y bobl.
13 A phan oedd efe ym mhorth Benjamin,
*yr oedd* yno ben-swyddog, a'i enw ef *oedd*
Irïah, mab Selemïah, fab Hananïah; ac efe
a ddaliodd Jeremi y prophwyd, gan ddywed-
yd, Cilio at y Caldeaid yr wyt ti.
14 Yna y dywedodd Jeremi, † Nid gwir;
† Heb. *Celwydd.* nid ydwyf fi yn cilio at y Caldeaid. Ond
ni wrandawai efe arno: felly Irïah a ym-
aflodd yn Jeremi, ac a'i dygodd ef at y
tywysogion.
15 Am hynny y tywysogion a ddigiasant
wrth Jeremi, ac a'i tarawsant, ac a'i rhodd-
asant yn y carchardy yn nhŷ Jonathan yr
ysgrifenydd: o herwydd hwnnw a wnaeth-
ent hwy yn garchardy.
16 ¶ Pan ddaeth Jeremi i'r daeardy, ac
‡ Neu, *celloedd.* i'r ‡ cabanau, ac *wedi* i Jeremi aros yno
ddyddiau lawer;
589. 17 Yna y brenhin Sedecïah a anfonodd,
ac a'i cymmerodd ef allan: a'r brenhin a
ofynodd iddo yn gyfrinachol yn ei dŷ ei
hun, ac a ddywedodd, A oes gair oddi wrth
yr ARGLWYDD? A dywedodd Jeremi,
Oes: canys tydi, *eb efe*, a roddir yn llaw
brenhin Babilon.
18 Jeremi hefyd a ddywedodd wrth y
brenhin Sedecïah, Pa bechod a wneuthum i
i'th erbyn di, neu yn erbyn dy weision, neu
yn erbyn y bobl hyn, pan y'm rhoddasoch
yn y carchardy?
19 Pa le *y mae* eich prophwydi a broph-
wydasant i chwi, gan ddywedyd, Ni ddaw
brenhin Babilon i'ch erbyn, nac yn erbyn y
wlad hon?
20 Ac yn awr gwrando, attolwg, O fy
arglwydd frenhin: attolwg, § deued fy § Heb. *cwymped.*
ngweddi ger dy fron; fel na pharech i mi
ddychwelyd i dŷ Jonathan y 'sgrifenydd,
rhag fy marw yno.
21 Yna y brenhin Sedecïah a orchymyn-
odd iddynt hwy roddi Jeremi [e] ynghyntedd [e] Pen. 32. 2.
y carchardy, a rhoddi iddo ef deisen o fara
beunydd o heol y pobyddion, nes darfod yr
holl fara yn y ddinas. Felly Jeremi a arho-
sodd ynghyntedd y carchardy.

## PEN. XXXVIII.

1 *Jeremi, ar gam-achwyn, yn cael ei fwrw i* Awst 5. P.
*ddaeardy Malchïah; 7 ac Ebedmelech yn
cael peth rhyddid iddo ef. 14 Jeremi, trwy
ymddiddan cyfrinachol, yn cynghori i'r
brenhin achub ei einioes trwy ymroi; 24 a
thrwy archiad y brenhin, yn celu'r ymdd-
iddan hwnnw oddi wrth y tywysogion.*

YNA Sephatïah mab Mattan, a Geda- 589.
lïah mab Pasur, a Juchal mab Selemïah,
a Phasur mab Malchïah, a glywsant y geiriau
a draethasai Jeremi wrth yr holl bobl, gan
ddywedyd,
2 Fel hyn y dywedodd yr ARGLWYDD;
[a] Yr hwn a arhoso yn y ddinas hon, a fydd [a] Pen. 21.
farw trwy'r cleddyf, trwy newyn, a thrwy 5.
haint: ond y neb a elo allan at y Caldeaid,
a fydd byw; canys ei einioes fydd yn ys-
glyfaeth iddo, a byw fydd.
3 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Y
ddinas hon a roddir yn ddïau yn llaw llu
brenhin Babilon, yr hwn a'i hynnill hi.
4 Yna y tywysogion a ddywedasant wrth
y brenhin, Rhodder, attolwg, y gwr hwn i
farwolaeth: oblegid fel hyn y mae efe yn
gwanhâu dwylaw y rhyfelwŷr a adawyd yn
y ddinas hon, a dwylaw yr holl bobl, wrth
ddywedyd wrthynt yn ol y geiriau hyn: o
herwydd nid yw y gwr hwn yn ceisio † llwy- † Heb. *heddwch.*
ddiant i'r bobl hyn, ond niweid.
5 A'r brenhin Sedecïah a ddywedodd,
Wele ef yn eich llaw chwi: canys nid *yw*'r
brenhin *wr* a ddichon ddim yn eich erbyn
chwi.
6 Yna hwy a gymmerasant Jeremi, ac
a'i bwriasant ef i ddaeardy Malchïah mab
‡ Hammelech, yr hwn *oedd* ynghyntedd y ‡ Neu, *y brenhin.*
carchardy: a hwy a ollyngasant Jeremi i
wared wrth raffau. Ac nid *oedd* dwfr yn y
daeardy, ond tom: felly Jeremi a lynodd yn
y dom.
7 ¶ A phan glybu [b] Ebedmelech yr Ethi- [b] Pen. 39.
opiad (un o'r ystafellyddion yr hwn oedd 16.
yn nhŷ'r brenhin) iddynt hwy roddi Jere-
mi yn y daeardy (a'r brenhin yn eistedd ym
mhorth Benjamin)
8 Ebedmelech a aeth allan o dŷ'r brenhin,
ac a lefarodd wrth y brenhin, gan ddywedyd,
9 O fy arglwydd frenhin, drwg y gwnaeth
y gwŷr hyn ynghwbl ag a wnaethant i

Jeremi y prophwyd, yr hwn a fwriasant hwy i'r daeardy; ac efe a fydd marw o newyn yn y fan lle y mae, o herwydd nid *oes* bara mwyach yn y ddinas.

10 Yna'r brenhin a orchymynodd i Ebedmelech yr Ethiopiad, gan ddywedyd, Cymmer oddi yma ddengwr ar hugain † gyd â thi, a chyfod Jeremi y prophwyd o'r daeardy cyn ei farw.

† Heb. *yn dy law,* neu, *gyd a'th law.*

11 Felly Ebedmelech a gymmerodd y gwŷr gyd ag ef, ac a aeth i dŷ'r brenhin dan y trysordy, ac a gymmerodd oddi yno hen garpiau, a hen bwdr-fratiau, ac a'u gollyngodd i wared at Jeremi i'r daeardy wrth raffau.

12 Ac Ebedmelech yr Ethiopiad a ddywedodd wrth Jeremi, Gosod yn awr yr hen garpiau, a'r pwdr-fratiau hyn, dan dy gesseiliau oddi tan y rhaffau. A Jeremi a wnaeth felly.

13 Felly hwy a dynnasant Jeremi i fynu wrth y rhaffau, ac a'i codasant ef o'r daeardy; a Jeremi a arhosodd ynghyntedd y carchardy.

14 ¶ Yna'r brenhin Sedecïah a anfonodd, ac a gymmerodd Jeremi y prophwyd atto ‡ i'r trydydd cyntedd, yr hwn *sydd* yn nhŷ'r ARGLWYDD; a'r brenhin a ddywedodd wrth Jeremi, Mi a ofynaf i ti beth: na chela ddim oddi wrthyf fi.

‡ Neu, *i'r cyntedd pennaf.*

15 A Jeremi a ddywedodd wrth Sedecïah, Os mynegaf i ti, oni roddi di fi i farwolaeth? ac os rhoddaf i ti gyngor, oni wrandewi di arnaf?

16 Felly'r brenhin Sedecïah a dyngodd wrth Jeremi yn gyfrinachol, gan ddywedyd, *Fel mai* byw'r ARGLWYDD, [c] yr hwn a wnaeth i ni yr enaid hwn, ni roddaf fi di i farwolaeth, ac ni roddaf di yn llaw y gwŷr hyn sydd yn ceisio dy einioes.

c Esay 57. 16.

17 Yna y dywedodd Jeremi wrth Sedecïah, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Duw y lluoedd, Duw Israel, Os gan fyned yr ai di allan at dywysogion brenhin Babilon, yna y bydd dy enaid fyw, ac ni losgir y ddinas hon â thân; a thithau a fyddi fyw, ti a'th deulu.

18 Ond onid ai di allan at dywysogion brenhin Babilon, yna'r ddinas hon a roddir i law'r Caldeaid, a hwy a'i llosgant hi â thân, ac ni ddïengi dithau o'u llaw hwynt.

19 A'r brenhin Sedecïah a ddywedodd wrth Jeremi, Yr ydwyf fi yn ofni'r Iuddewon a giliasant at y Caldeaid, rhag iddynt hwy fy rhoddi i yn eu llaw hwynt, ac i'r rhai hynny fy ngwatwar.

20 A Jeremi a ddywedodd, Ni roddant ddim: gwrando, attolwg, ar lais yr ARGLWYDD, yr hwn yr ydwyf fi yn ei draethu i ti; felly y bydd yn dda i ti, a'th enaid a fydd byw.

21 Ond os gwrthodi fyned allan, dyma'r gair a ddangosodd yr ARGLWYDD i mi:

22 Ac wele, yr holl wragedd, y rhai a adawyd yn nhŷ brenhin Judah, a ddygir allan at dywysogion brenhin Babilon; a hwy a ddywedant, § Dy gyfeillion a'th hudasant, ac a'th orchfygasant; dy draed a lynasant yn y dom, *a* hwythau a droisant yn eu hol.

§ Heb. *Gwŷr dy heddwch.*

23 Felly hwy a ddygant allan dy holl wragedd a'th blant at y Caldeaid, ac ni ddïengi dithau o'u llaw hwynt; canys â llaw brenhin Babilon y'th ddelir; a'r ddinas hon a losgi â thân.

24 ¶ Yna y dywedodd Sedecïah wrth Jeremi, Na chaffed neb wybod y geiriau hyn, ac ni'th roddir i farwolaeth.

25 Ond os y tywysogion a glywant i mi ymddiddan â thi, ac *os* deuant attat ti, a dywedyd wrthyt, Mynega yn awr i ni beth a draethaist ti wrth y brenhin; na chela oddi wrthym ni, ac ni roddwn ni mo honot ti i farwolaeth; a pha beth a draethodd y brenhin wrthyt tithau:

26 Yna dywed wrthynt, [d] Myfi a weddïais yn ostyngedig ger bron y brenhin, na yrrai efe fi drachefn i dŷ Jonathan, i farw yno.

d Pen. 37. 20.

27 Yna'r holl dywysogion a ddaethant at Jeremi, ac a'i holasant ef: ac efe a fynegodd iddynt yn ol yr holl eiriau hyn, y rhai a orchymynasai'r brenhin: felly hwy ‖ a beidiasant ag ymddiddan ag ef, canys ni chatwyd clywed y peth.

‖ Heb. *a dawsant oddi wrtho.*

28 A Jeremi a arhosodd ynghyntedd y
carchardy hyd y dydd yr ynnillwyd Jeru- 588.
salem; ac *yno* yr oedd efe pan ynnillwyd Jerusalem.

## PEN. XXXIX.

1 *Ynnill Jerusalem.* 4 *Tynnu llygaid Sedecïah a'i anfon i Babilon.* 8 *Difrodi'r ddinas,* 9 *a chaethiwo'r bobl.* 11 *Nebuchodonosor yn rhoi gorchymyn ar fod yn dda wrth Jeremi.* 15 *Addewid Duw i Ebedmelech.* Awst 6. B.

YN [a] y nawfed flwyddyn i Sedecïah 590.
frenhin Judah, ar y degfed mis, y daeth Nebuchodonosor brenhin Babilon, a'i holl lu, yn erbyn Jerusalem, ac a warchaeasant arni. 588.

a 2 Bren. 25. 1. Pen. 52. 4.

2 Yn yr unfed flwyddyn ar ddeg i Sedecïah, yn y pedwerydd mis, ar y nawfed *dydd* o'r mis, y torrwyd y ddinas.

3 A holl dywysogion brenhin Babilon a ddaethant i mewn, ac a eisteddasant yn y porth canol, *sef* Nergal-sareser, Samgarnebo, Sarsechim, Rabsaris, Nergal-sareser, Rabmag, a holl dywysogion eraill brenhin Babilon.

4 ¶ A phan welodd Sedecïah brenhin Judah hwynt, a'r holl ryfelwŷr, hwy a ffoisant, ac a aethant allan o'r ddinas liw nos, trwy ffordd gardd y brenhin, i'r porth rhwng y ddau fur: ac efe a aeth allan tu a'r † anialwch.

† Neu, *gwastadedd.*

5 A llu'r Caldeaid a erlidiasant ar eu hol hwynt, ac a oddiweddasant Sedecïah yn rhosydd Jericho, ac a'i daliasant ef, ac a'i dygasant at Nebuchodonosor frenhin Babilon, i Riblah yngwlâd Hamath; lle y ‡ rhoddodd efe farn arno.

‡ Heb. *llefarodd wrtho farnedigaethau.*

6 Yna brenhin Babilon a laddodd feibion Sedecïah yn Riblah o flaen ei lygaid ef: brenhin Babilon hefyd a laddodd holl bendefigion Judah.

7 Ac efe a dynnodd lygaid Sedecïah, ac a'i rhwymodd ef â § chadwynau i'w ddwyn i Babilon.

§ Heb. *dwy gadwyn bres,* neu, *llyffetheiriau.*

8 ¶ A'r Caldeaid a losgasant dŷ'r brenhin, a thai'r bobl, â thân; a hwy a ddrylliasant furiau Jerusalem.

9 Yna Nebuzaradan ‖ pennaeth y milwŷr a gaeth-gludodd i Babilon weddill y bobl y rhai a adawsid yn y ddinas, a'r encilwŷr y rhai a giliasent atto ef, ynghŷd â gweddill y bobl y rhai a adawsid.

‖ Heb. *y penlleiddiad.* Ac felly adn. 10, 11, &c.

10 A Nebuzaradan pennaeth y milwŷr a adawodd o dlodion y bobl, y rhai nid oedd dim ganddynt, yngwlâd Judah, ac efe a roddodd iddynt winllannoedd a meusydd † y pryd hynny.

* Heb. *y dydd hwnnw.*

11 ¶ A Nebuchodonosor brenhin Babilon
† Heb. *i law Nebuzaradan.* a roddodd orchymyn am Jeremi † i Ne-
buzaradan pennaeth y milwŷr, gan ddy-
wedyd,
12 Cymmer ef, a bwrw olwg arno, ac na
wna iddo ddim niweid; ond megis y dy-
wedo efe wrthyt ti, felly gwna iddo.
13 Felly Nebuzaradan pennaeth y milwŷr
a anfonodd, Nebusasban hefyd, Rabsaris, a
Nergal-sareser, Rabmag, a holl bennaeth-
iaid brenhin Babilon:
14 Ië, hwy a anfonasant, ac a gymmer-
[b] Pen. 40. 5. asant Jeremi o gyntedd y carchardy, ac [b] a'i
rhoddasant ef at Gedalïah fab Ahicam fab
Saphan, i'w ddwyn adref: felly efe a drig-
odd ym mysg y bobl.
15 ¶ A gair yr ARGLWYDD a ddaeth at
Jeremi, pan oedd efe wedi cau arno ynghyn-
tedd y carchar, gan ddywedyd,
[c] Pen. 38. 7. 16 Dos, a dywed i [c] Ebedmelech yr Ethi-
opiad, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed AR-
GLWYDD y lluoedd, DUW Israel, Wele, mi a
baraf i'm geiriau ddyfod yn erbyn y ddinas
hon er niweid, ac nid er lles, a hwy a gwbl-
heir o flaen dy wyneb y dwthwn hwnnw.
17 Ond myfi a'th waredaf di y dydd
hwnnw, medd yr ARGLWYDD, ac ni'th
roddir yn llaw'r dynion *yr ydwyt* ti yn ofni
rhagddynt.
18 Canys gan achub mi a'th achubaf, ac
[d] Pen. 21. 9. a 45. 5. ni syrthi trwy'r cleddyf, eithr [d] bydd dy
einioes yn ysglyfaeth i ti, am it' ymddiried
ynof fi, medd yr ARGLWYDD.

## PEN. XL.

Awst 6. P. 1 *Jeremi, wedi darfod i Nebuzaradan ei oll-
wng ef yn rhydd, yn myned at Gedalïah:
7 a'r Iuddewon oedd ar wasgar yn ymgas-
glu atto ef. 13 Johanan yn datguddio brad-
wriaeth Ismael, heb gael ei gredu.*

588. Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddi
wrth yr ARGLWYDD, wedi i Nebuzar-
adan pennaeth y milwŷr ei ollwng ef yn
rhydd o Ramah, wedi iddo ei gymmeryd ef,
† Neu, *gefynnau.* ac yntau yn rhwym mewn † cadwyni ym
mysg holl gaeth-glud Jerusalem a Judah,
*y rhai a* gaeth-gludasid i Babilon.
2 A phennaeth y milwŷr a gymmerodd
[a] Pen. 50. 7. Jeremi, ac [a] a ddywedodd wrtho, Yr AR-
GLWYDD dy DDUW a lefarodd y drwg yma
yn erbyn y lle hwn.
3 A'r ARGLWYDD a'i dug i ben, ac a
wnaeth megis y llefarodd: am i chwi bechu
yn erbyn yr ARGLWYDD, ac na wrandaw-
soch ar ei lais ef, am hynny y daeth y peth
hyn i chwi.
4 Ac yn awr wele, mi a'th ryddheais di
heddyw o'r cadwynau *oedd* am dy ddwy-
law: os da gennyt ti ddyfod gyd â mi i
‡ Heb. *gosodaf fy llygad arnat.* Babilon, tyred, a myfi a ‡ fyddaf da wrthyt:
ond os drwg y gweli ddyfod gyd â mi i
Babilon, paid; wele'r holl dir o'th flaen di:
i'r fan *y byddo* da a boddlon gennyt fyned,
yno dos.
5 Ac yn awr ac efe etto heb ddy-
[b] 2 Bren. 25. 22. Pen. 39. 14. chwelyd, *efe a ddywedodd,* Dychwel at [b] Ge-
dalïah fab Ahicam, fab Saphan, yr hwn
a osododd brenhin Babilon ar ddinasoedd
Judah, ac aros gyd ag ef ym mhlith y bobl:
neu dos lle y gwelech di yn dda fyned.
Felly pennaeth y milwŷr a roddodd iddo
ef luniaeth a rhodd, ac a'i gollyngodd ef
ymaith.
6 Yna yr aeth Jeremi at Gedalïah fab
Ahicam i Mispah, ac a arhosodd gyd ag ef
ym mysg y bobl a adawsid yn y wlad.

7 ¶ [c] A phan glybu holl dywysogion y [c] 2 Bren. 25. 23.
lluoedd, y rhai *oedd* ar hŷd y wlad, hwynt-
hwy a'u gwŷr, i frenhin Babilon osod Ge-
dalïah fab Ahicam ar y wlad, ac iddo roddi
dan ei law ef wŷr, a gwragedd, a phlant,
ac o dlodion y wlad, o'r rhai ni chaeth-
gludasid i Babilon;
8 Yna hwy a ddaethant at Gedalïah i
Mispah, *sef* Ismael mab Nethanïah, a Jo-
hanan a Jonathan meibion Careah, a Se-
raiah mab Tanhumeth, a meibion Ephai y
Netophathiad, a Jezanïah mab Maachath-
iad, hwynt hwy a'u gwŷr.
9 A Gedalïah mab Ahicam fab Saphan
a dyngodd wrthynt hwy, ac wrth eu gwŷr,
gan ddywedyd, Nac ofnwch wasanaethu'r
Caldeaid: trigwch yn y wlad, a gwasanaeth-
wch frenhin Babilon, felly y bydd daioni i
chwi.
10 Am danaf finnau, wele, mi a drigaf ym
Mispah, i wasanaethu'r Caldeaid, y rhai a
ddeuant attom ni: chwithau, cesglwch win,
a ffrwythydd haf, ac olew, a dodwch *hwynt*
yn eich llestri, a thrigwch yn eich dinas-
oedd, y rhai yr ydych yn eu meddiannu.
11 A phan glybu'r holl Iuddewon y rhai
*oedd* ym Moab, ac ym mysg meibion Am-
mon, ac yn Edom, ac yn yr holl wledydd,
i frenhin Babilon adael gweddill o Judah, a
gosod Gedalïah fab Ahicam fab Saphan yn
llywydd arnynt hwy;
12 Yna'r holl Iuddewon a ddychwelasant
o'r holl leoedd lle y gyrrasid hwynt, ac a
ddaethant i wlad Judah at Gedalïah i Mis-
pah, ac a gasglasant win a ffrwythydd haf
lawer iawn.
13 ¶ Johanan hefyd mab Careah, a holl
dywysogion y lluoedd y rhai *oedd* ar hŷd y
wlad, a ddaethant at Gedalïah i Mispah,
14 Ac a ddywedasant wrtho, A wyddost
ti yn hyspys i Baalis, brenhin meibion
Ammon, anfon Ismael fab Nethanïah § i'th § Heb. *i'th daro yn yr enaid.*
ladd di? Ond ni chredodd Gedalïah mab
Ahicam iddynt hwy.
15 Yna Johanan mab Careah a ddywed-
odd wrth Gedalïah ym Mispah yn gyfrin-
achol, gan ddywedyd, Gad i mi fyned, at-
tolwg, a mi a laddaf Ismael fab Nethanïah,
ac ni chaiff neb wybod: pa ham y lladdai
efe di, fel y gwasgerid yr holl Iuddewon y
rhai a ymgasglasant attat ti, ac y darfyddai
am y gweddill yn Judah?
16 Ond Gedalïah mab Ahicam a ddywed-
odd wrth Johanan fab Careah, Na wna y
peth hyn, canys celwydd yr ydwyt ti yn ei
ddywedyd am Ismael.

## PEN. XLI.

1 *Ismael, trwy fradwriaeth, yn lladd Geda-* Awst 7. B.
*lïah ac eraill, ac yn amcanu, efe a'r lleill,
ffoi at yr Ammoniaid. 11 Johanan yn ynnill
y caethion, ac yn meddwl ffoi i'r Aipht.*

AC [a] yn y seithfed mis daeth Ismael mab 588.
Nethanïah fab Elisama o'r had bren- [a] 2 Bren. 25. 25.
hinol, a phendefigion y brenhin, sef dengwr
gyd ag ef, at Gedalïah fab Ahicam i Mis-
pah: a hwy a fwyttasant yno fara ynghŷd
ym Mispah.
2 Ac Ismael mab Nethanïah a gyfod-
odd, *efe* a'r dengwr oedd gyd ag ef, ac a
darawsant Gedalïah fab Ahicam fab Saphan
â'r cleddyf, ac a'i lladdasant ef, yr hwn
a osodasai brenhin Babilon yn llywydd ar y
wlad.
3 Ismael hefyd a laddodd yr holl Iuddew-
on oedd gyd ag ef, *sef* gyd â Gedalïah,

ym Mispah, a'r Caldeaid y rhai a gafwyd
yno, y rhyfelwŷr.
4 A'r ail dydd wedi iddo ef ladd Geda-
lïah, heb neb yn gwybod,
5 Yna y daeth gwŷr o Sichem, o Siloh,
ac o Samaria, *sef* pedwar ugeinwr, wedi
eillio eu barfau, a rhwygo eu dillad, ac
ymdorri, ag offrymmau ac â thus yn eu dwy-
law, i'*w* dwyn i dŷ'r ARGLWYDD.
6 Ac Ismael mab Nethanïah a aeth allan
o Mispah i'w cyfarfod hwynt, gan gerdded
rhagddo, ac wylo: a phan gyfarfu efe â
hwynt, efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch
at Gedalïah fab Ahicam.
7 A phan ddaethant hwy i ganol y ddinas,
yna Ismael mab Nethanïah a'u lladdodd
[b] Felly 1 Mac. 7. 19. hwynt, *ac* [b] *a'u bwriodd* i ganol y pydew, efe
a'r gwŷr *oedd* gyd ag ef.
8 Ond dengwr a gafwyd yn eu mysg
hwynt, y rhai a ddywedasant wrth Is-
mael, Na ladd ni: oblegid y mae gen-
nym ni drysor yn y maes, o wenith, ac o
haidd, ac o olew, ac o fêl. Felly efe a
beidiodd, ac ni laddodd hwynt ym mysg eu
brodyr.
9 A'r pydew i'r hwn y bwriodd Ismael
* Neu, *ger llaw.* holl gelaneddau'r gwŷr, a laddasai efe † er
† Heb. *trwy law,* mwyn Gedalïah, *yw* [c] yr hwn a wnaethai'r
neu, *wrth ystlys Gedalïah.* brenhin Asa, rhag ofn Baasa frenhin Israel:
hwnnw a ddarfu i Ismael mab Nethanïah ei
lenwi â'r rhai a laddasid.
10 Yna Ismael a gaeth-gludodd holl wed-
[c] 1 Bren. 15. 22. dill y bobl y rhai *oedd* ym Mispah, *sef*
[d] Pen. 43. 6. [d] merched y brenhin, a'r holl bobl y rhai a
adawsid ym Mispah, ar y rhai y gosodasai
Nebuzaradan pennaeth y milwŷr Gedalïah
fab Ahicam yn llywydd: ac Ismael mab
Nethanïah a'u caeth-gludodd hwynt, ac a
ymadawodd i fyned drosodd at feibion Am-
mon.
11 ¶ Ond pan glybu Johanan mab Ca-
reah, a holl dywysogion y llu y rhai *oedd*
gyd ag ef, yr holl ddrwg a wnaethai Ismael
mab Nethanïah;
12 Yna hwy a gymmerasant *eu* holl wŷr,
ac a aethant i ymladd ag Ismael mab Ne-
[e] 2 Sam. 2. 13. thanïah, ac a'i cawsant ef wrth [e] y dyfroedd
mawrion y rhai *sydd* yn Gibeon.
13 A phan welodd yr holl bobl, y rhai
*oedd* gyd ag Ismael, Johanan fab Careah, a
holl dywysogion y llu y rhai *oedd* gyd ag ef,
yna hwy a lawenychasant.
14 Felly'r holl bobl, y rhai a gaeth-glu-
dasai Ismael ymaith o Mispah, a droisant ac
a ddychwelasant, ac a aethant at Johanan
fab Careah.
15 Ond Ismael mab Nethanïah a ddïang-
odd, ynghŷd ag wythnyn, oddi gan Joha-
nan, ac a aeth at feibion Ammon.
16 Yna Johanan mab Careah, a holl dy-
wysogion y llu y rhai *oedd* gyd ag ef,
a gymmerasant holl weddill y bobl, y
rhai a ddygasai efe yn eu hol oddi ar
Ismael fab Nethanïah, o Mispah (wedi iddo
ef ladd Gedalïah fab Ahicam) *sef* cedyrn
ryfelwŷr, a'r gwragedd, a'r plant, a'r ys-
tafellyddion, y rhai a ddygasai efe o Gi-
beon.
17 A hwy a aethant oddi yno, ac a eistedd-
[f] 2 Sam. 19. 37, 38. asant yn nhrigfa [f] Cimham, yn agos at
Bethlehem, i fyned i'r Aipht.
18 Rhag y Caldeaid: o herwydd eu bod
yn eu hofni hwynt, am i Ismael mab Ne-
thanïah ladd Gedalïah fab Ahicam, yr hwn
a roddasai brenhin Babilon yn llywydd yn y
wlad.

PEN. XLII.

1 *Johanan yn erfyn ar Jeremi ymofyn â Duw,* Awst 7. P.
*ac yn addo bod yn ufudd i'w ewyllys ef.*
*7 Jeremi yn dangos iddo y cai efe ddïogel-*
*wch yn Judea, 13 a dinystr yn yr Aipht.*
*19 Y mae'n beio ar eu rhagrith hwy yn peri*
*ymofyn â'r Arglwydd am yr hyn nid oedd*
*yn eu bryd ei wneuthur.*

FELLY holl dywysogion y llu, a Joha- 588.
nan mab Careah, a Jezanïah mab Ho-
saiah, a'r holl bobl, o fychan hyd fawr, a
nesasant,
2 Ac a ddywedasant wrth Jeremi y pro-
phwyd, Attolwg, † gwrando ein deisyfiad † Heb.
ni, a gweddïa drosom ni ar yr ARGLWYDD *cwymped ein deisyf-*
dy DDUW, *sef* dros yr holl weddill hyn, *iad ger dy*
(canys nyni a adawyd o lawer yn ychydig, *fron.*
fel y mae dy lygaid yn ein gweled ni)
3 Fel y dangoso'r ARGLWYDD dy DDUW
i ni y ffordd y mae i ni rodio ynddi, a'r
peth a wnelom.
4 Yna Jeremi y prophwyd a ddywedodd
wrthynt, Myfi a'*ch* clywais *chwi;* wele, mi
a weddïaf ar yr ARGLWYDD eich DUW
yn ol eich geiriau chwi, a pheth bynnag a
ddywedo'r ARGLWYDD am danoch, myfi
a'*i* mynegaf i chwi: [a] nid attaliaf ddim oddi [a] 1 Sam. 3. 18.
wrthych. Act. 20. 20.
5 A hwy a ddywedasant wrth Jeremi, Yr
ARGLWYDD fyddo dyst cywir a ffyddlon
rhyngom ni, oni's gwnawn yn ol pob gair
a anfono'r ARGLWYDD dy DDUW *gyd â* thi
attom ni.
6 Os da neu os drwg *fydd,* ar lais yr
ARGLWYDD ein DUW (yr hwn yr ydym
ni yn dy anfon atto) y gwrandawn ni; [b] fel [b] Pen. 7. 23.
y byddo da i ni, pan wrandawom ar lais yr
ARGLWYDD ein DUW.
7 ¶ Ac ym mhen y deng niwrnod y daeth
gair yr ARGLWYDD at Jeremi.
8 Yna efe a alwodd ar Johanan fab Ca-
reah, ac ar holl dywysogion y llu y rhai
*oedd* gyd ag ef, ac *ar* yr holl bobl o fychan
hyd fawr,
9 Ac a ddywedodd wrthynt, Fel hyn y
dywed yr ARGLWYDD, DUW Israel, yr
hwn yr anfonasoch fi atto i roddi i lawr eich
gweddïau ger ei fron ef;
10 Os trigwch chwi yn wastad yn y
wlad hon, myfi a'ch adeiladaf chwi, ac ni's
tynnaf i lawr, myfi a'ch plannaf chwi, ac ni's
diwreiddiaf: oblegid y mae'n edifar gennyf
am y drwg a wneuthum i chwi.
11 Nac ofnwch rhag brenhin Babilon, yr
hwn y mae arnoch ei ofn; nac ofnwch ef,
medd yr ARGLWYDD: canys myfi *a fyddaf*
gyd â chwi i'ch achub, ac i'ch gwaredu chwi
o'i law ef.
12 A [c] mi a roddaf i chwi drugaredd, fel [c] Psal. 106. 46.
y trugarhao efe wrthych, ac y dygo chwi
drachefn i'ch gwlad eich hun.
13 ¶ Ond os dywedwch, Ni thrigwn ni
yn y wlad hon, heb wrando ar lais yr AR-
GLWYDD eich DUW,
14 Gan ddywedyd, Nagê: ond i wlad yr
Aipht yr awn ni, lle ni welwn ryfel, ac ni
chlywn sain udgorn, ac ni bydd arnom ne-
wyn bara, ac yno y trigwn ni:
15 Am hynny, O gweddill Judah, gwran-
dêwch yn awr air yr ARGLWYDD. Fel hyn
y dywed ARGLWYDD y lluoedd, DUW Is-
rael, Os chwi [d] gan osod a osodwch eich [d] Deut. 17. 16.
wynebau i fyned i'r Aipht, ac a ewch i ym-
deithio yno,
16 Yna y bydd i'r cleddyf, yr hwn yr

ydych yn ei ofni, eich goddiwes chwi yno
yn nhir yr Aipht; a'r newyn yr hwn yr
† Heb. *a ofn-* ydych yn gofalu rhagddo, † a'ch dilyn chwi
*wilhych.* yn yr Aipht; ac yno y byddwch feirw.
17 Felly y bydd i'r holl wŷr a osodasant
eu hwynebau i fyned i'r Aipht, i aros yno,
hwy a leddir â'r cleddyf, â newyn, ac â
[e] Edrych haint: ac [e] ni bydd un o honynt yngwe-
Pen. 44. 14, ddill, neu 'n ddïangol, gan y dïaledd a ddy-
28. gaf fi arnynt.
18 Canys fel hyn y dywed ARGLWYDD
[f] Pen. 7. 20. y lluoedd, Duw Israel, Megis [f] y tywallt-
wyd fy llid a'm digofaint ar breswylwŷr
Jerusalem; felly y tywelltir fy nigofaint
arnoch chwithau, pan ddeloch i'r Aipht: a
[g] Pen. 29. [g] chwi a fyddwch yn felldith, ac yn syndod,
18, 22. Zech. 8. 13. ac yn rheg, ac yn warth, ac ni chewch we-
led y lle hwn mwyach.
19 ¶ O gweddill Judah, yr ARGLWYDD
a ddywedodd am danoch, Nac ewch i'r
‡ Heb. Aipht: gwybyddwch yn hyspys i mi ‡ eich
*dystiol-aethu i'ch erbyn chwi.* rhybuddio chwi heddyw.
20 Canys § rhagrithiasoch yn eich ca-
lonnau, wrth fy anfon i at yr ARGLWYDD
§ Heb. eich Duw, gan ddywedyd, Gweddïa dros-
*cyfeiliorn-asoch yn eich eneidiau,* om ni ar yr ARGLWYDD ein Duw, a
mynega i ni yn ol yr hyn oll a ddywedo'r
neu, *twyll-asoch eich eneidiau.* ARGLWYDD ein Duw, a nyni a'i gw-
nawn.
21 A mi a'i mynegais i chwi heddyw,
ond ni wrandawsoch ar lais yr ARGLWYDD
eich Duw, nac ar ddim oll â'r y danfonodd
efe fi attoch o'i blegid.
22 Ac yn awr gwybyddwch yn hyspys,
mai trwy'r cleddyf, *a* thrwy newyn, a thrwy
haint, y byddwch chwi feirw yn y lle yr
ydych yn ewyllysio myned i ymdeithio
ynddo.

## PEN. XLIII.

Awst 8. B. 1 *Johanan yn anghoelio prophwydoliaeth Je-
remi, ac yn ei ddwyn ef ac eraill i'r Aipht.
8 Jeremi, trwy gysgod, yn prophwydo y
goresgynid yr Aipht gan y Babiloniaid.*

588. A Phan ddarfu i Jeremi lefaru wrth yr
holl bobl holl eiriau'r ARGLWYDD eu
Duw, am y rhai'r anfonasai'r ARGLWYDD
eu Duw ef attynt, *sef* yr holl eiriau
hyn:
2 Yna y llefarodd Azarïah mab Hosaiah,
a Johanan mab Careah, a'r holl ddynion
beilchion, gan ddywedyd wrth Jeremi, Cel-
wydd yr wyt ti yn ei ddywedyd; ni anfon-
odd yr ARGLWYDD ein Duw ni mo honot
ti i ddywedyd, Nac ewch i'r Aipht i ymdei-
thio yno.
3 Eithr Baruch mab Nerïah a'th annog-
odd di i'n herbyn ni, i gael ein rhoddi ni yn
llaw y Caldeaid, i'n lladd, ac i'n caeth-gludo
i Babilon.
4 Ond ni wrandawodd Johanan mab Ca-
reah, na holl dywysogion y llu, na'r holl
bobl, ar lais yr ARGLWYDD, i drigo yn
nhir Judah:
5 Eithr Johanan mab Careah, a holl dy-
wysogion y llu, a ddygasant ymaith holl
weddill Judah, y rhai a ddychwelasent oddi
wrth yr holl genhedloedd lle y gyrrasid
hwynt, i aros yngwlâd Judah;
6 Yn wŷr, a gwragedd, a phlant, a
[a] Pen. 41. 10. [a] merched y brenhin, a phob enaid a'r a
adawsai Nebuzaradan pennaeth y milwŷr
gyd â Gedalïah mab Ahicam fab Saphan,
y prophwyd Jeremi hefyd, a Baruch fab
Nerïah.
7 Felly hwy a ddaethant i wlad yr
Aipht: canys ni wrandawsant ar lais yr
ARGLWYDD; fel hyn y daethant i [b] Ta- [b] Esay 30. 4. *Hanes.*
panhes.
8 ¶ A gair yr ARGLWYDD a ddaeth at
Jeremi yn Tapanhes, gan ddywedyd,
9 Cymmer yn dy law gerrig mawrion, a
chuddia hwynt yn y clai yn yr odyn bridd-
faen, yr hon *sydd* yn nrws tŷ Pharaoh, yn
Tapanhes, yngolwg gwŷr Judah;
10 A dywed wrthynt, Fel hyn y dywed
ARGLWYDD y lluoedd, Duw Israel, Wele,
mi a anfonaf, ac a gymmeraf Nebuchodo-
nosor brenhin Babilon [c] fy ngwas, ac a [c] Pen. 25. 9.
osodaf ei frenhinfaingc ef ar y cerrig hyn y Edrych
rhai a guddiais, ac efe a daena ei frenhinol Ezec. 29. 18.
babell arnynt.
11 A phan ddelo, efe a dery wlad yr
Aipht; [d] y rhai *sydd* i angau, ag angau; a'r [d] Pen. 15. 2.
rhai *sydd* i gaethiwed, â chaethiwed; a'r Zech. 11. 9.
rhai *sydd* i'r cleddyf, â'r cleddyf.
12 A mi a gynneuaf dân yn nhai duwiau'r
Aipht, ac efe a'u llysg hwynt, ac a'u caeth-
gluda hwynt; ac efe a ymwisg â gwlad yr
Aipht fel y gwisg bugail ei ddillad: ac efe
a â allan oddi yno mewn heddwch.
13 Ac efe a dyrr ddelwau † tŷ'r haul, yr † *Beth-semes.*
hwn *sydd* yngwlâd yr Aipht; ac efe a lysg
dai duwiau'r Aipht â thân.

## PEN. XLIV.

1 *Jeremi yn adrodd dinystr Judah am eu delw-* Awst 8. P.
*addoliaeth; 11 yn prophwydo dinystr y
rhai a wnant ddelw-addoliaeth yn yr
Aipht. 15 Gwrthnysigrwydd yr Iuddew-
on; 20 a Jeremi yn eu bygwth hwy o'i
herwydd, 29 ac yn lle arwydd yn pro-
phwydo dinystr yr Aipht.*

Y Gair yr hwn a ddaeth at Jeremi, am 587.
yr holl Iuddewon y rhai oedd yn trigo
yngwlâd yr Aipht, *ac* yn preswylio ym
Migdol, ac yn Tapanhes, ac yn Noph, ac
yngwlâd Pathros, gan ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y llu-
oedd, Duw Israel, Chwi a welsoch yr holl
ddrwg a ddygais i ar Jerusalem, ac ar holl
ddinasoedd Judah; ac wele hwy heddyw
yn anghyfannedd, ac heb breswylydd yn-
ddynt:
3 O achos eu drygioni yr hwn a wnaeth-
ant i'm digio i, gan fyned i arogl-darthu,
*ac* i wasanaethu duwiau dïeithr, y rhai nid
adwaenent, *na* hwy, *na* chwithau, na'ch
tadau.
4 Er i mi [a] anfon attoch fy holl weision [a] 2 Chron.
y prophwydi, gan fore-godi, ac anfon, i 36. 15.
ddywedyd, Na wnewch, attolwg, y ffieidd-
beth hyn, yr hwn sydd gas gennyf fi:
5 Etto ni wrandawsant, ac ni ogwydd-
asant eu clust, i ddychwelyd oddi wrth eu
drygioni, fel nad arogl-darthent i dduwiau
dïeithr.
6 Am hynny [b] y tywalltwyd fy llid a'm [b] Pen. 4.
digofaint, ac y llosgodd efe yn ninasoedd 18.
Judah, ac yn heolydd Jerusalem; ac y
maent hwy yn anghyfannedd, *ac* yn ddi-
ffaethwch, fel *y gwelir* heddyw.
7 Ac yn awr fel hyn y dywed AR-
GLWYDD DDUW'r lluoedd, Duw Israel,
Pa ham y gwnewch y mawr ddrwg *hun*
yn erbyn eich eneidiau, i dorri ymaith
oddi wrthych wr a gwraig, plentyn, a'r hwn
sydd yn sugno, † allan o Judah, fel na † Heb.
adawer i chwi weddill? *o ganol Judah.*
8 Gan fy nigio i â gweithredoedd eich
dwylaw, gan arogl-darthu i dduwiau dï-
eithr yngwlâd yr Aipht, yr hon yr aethoch
i aros ynddi, i'ch difetha eich hunain, ac

i fod yn felldith ac yn warth ym mysg holl genhedloedd y ddaear.

9 A anghofiasoch chwi † ddrygioni eich tadau, a drygioni brenhinoedd Judah, a drygioni eu gwragedd hwynt, a'ch drygioni eich hunain, a drygioni eich gwragedd, y rhai a wnaethant hwy yngwlâd Judah, ac yn heolydd Jerusalem?

*† Heb. ddrygau, neu, gospedigaethau.*

10 Nid ydynt ‡ wedi ymostwng hyd y dydd hwn, ac nid ofnasant, ni rodiasant chwaith yn fy nghyfraith, nac yn fy neddfau, y rhai a roddais i o'ch blaen chwi, ac o flaen eich tadau.

*‡ Heb. ddrylliedig.*

11 Am hynny fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd, Duw Israel; Wele, [c] myfi a osodaf fy wyneb yn eich erbyn chwi er niweid, ac i ddifetha holl Judah.

*[c] Lef. 17. 10. Pen. 21. 10. Amos 9. 4.*

12 A mi a gymmeraf weddill Judah, y rhai a osodasant eu hwynebau i fyned i wlad yr Aipht i aros yno, a [d] hwy a ddifethir oll; yngwlâd yr Aipht y syrthiant: trwy'r cleddyf *a* thrwy newyn y difethir hwynt: o fychan hyd fawr, trwy'r cleddyf a thrwy newyn y byddant feirw: a [e] hwy a fyddant yn felldith, *ac* yn syndod, ac yn rheg, ac yn warth.

*[d] Pen. 42. 15, 16, 17, 22.*
*[e] Pen. 42. 18.*

13 Canys myfi a ymwelaf â thrigolion gwlad yr Aipht, fel yr ymwelais â Jerusalem, â chleddyf, â newyn, ac â haint:

14 Fel na byddo un a ddïango, nac a adawer o weddill Judah, y rhai a aethant i ymdeithio yno i wlad yr Aipht, i ddychwelyd i wlad Judah, yr hon y § mae eu hewyllys ar ddychwelyd i aros ynddi; canys [f] ni ddychwel ond y rhai a ddïangant.

*§ Heb. dyrchafasant eu henaid.*
*[f] Adn. 28.*

15 ¶ Yna'r holl wŷr y rhai a wyddent i'w gwragedd arogl-darthu i dduwiau dïeithr, a'r holl wragedd y rhai oedd yn sefyll yno, cynnulleidfa fawr, yr holl bobl y rhai oedd yn trigo yngwlâd yr Aipht, yn Pathros, a attebasant Jeremi, gan ddywedyd,

16 *Am* y gair a leferaist ti wrthym ni yn enw'r ARGLWYDD, ni wrandâwn ni arnat.

17 Ond gan wneuthur y gwnawn ni [g] bob peth a'r a ddelo allan o'n genau, gan arogl-darthu i [h] ‖ frenhines y nefoedd, a thywallt iddi hi ddïodydd-offrwm, megis y gwnaethom, nyni a'n tadau, ein brenhinoedd a'n tywysogion, yn ninasoedd Judah, ac yn heolydd Jerusalem: canys *yna* yr oeddem ni yn ddigonol o fara, ac yn dda, ac heb weled drwg.

*[g] Num. 30. 12. Edrych adn. 25.*
*[h] Pen. 7. 18.*
*‖ Neu, waith.*

18 Ond er pan beidiasom ag arogl-darthu i frenhines y nefoedd, ac â thywallt dïod-offrwm iddi hi, bu arnom eisiau pob *dim*: trwy gleddyf hefyd a thrwy newyn y darfuom ni.

19 [i] A phan oeddem ni yn arogl-darthu i frenhines y nefoedd, ac yn tywallt dïod-offrwm iddi; ai heb ein gwŷr y gwnaethom ni iddi hi deisennau i'w haddoli hi, ac y tywalltasom ddïod-offrwm iddi?

*[i] Pen. 7. 18.*

20 ¶ Yna Jeremi a ddywedodd wrth yr holl bobl, wrth y gwŷr, ac wrth y gwragedd, ac wrth yr holl bobl a'i hattebasant ef felly, gan ddywedyd,

21 Oni chofiodd yr ARGLWYDD yr arogl-darth a arogl-darthasoch chwi yn ninasoedd Judah, ac yn heolydd Jerusalem, chwychwi a'ch tadau, eich brenhinoedd a'ch tywysogion, a phobl y wlad? ac *oni* ddaeth yn ei feddwl ef?

22 Fel na allai'r ARGLWYDD gyd-ddwyn yn hwy, o achos drygioni eich gweithredoedd, *a* chan y ffieidd bethau a wnaethech: am hynny yr aeth eich tir yn anghyfannedd, ac yn syndod, ac yn felldith, heb breswylydd, megis y *gwelir* y dydd hwn.

23 O herwydd i chwi arogl-darthu, ac am i chwi bechu yn erbyn yr ARGLWYDD, ac na wrandawsoch ar lais yr ARGLWYDD, ac na rodiasoch yn ei gyfraith ef, nac yn ei ddeddfau, nac yn ei dystiolaethau; am hynny y digwyddodd i chwi yr aflwydd hwn, fel *y gwelir* heddyw.

24 A Jeremi a ddywedodd wrth yr holl bobl, ac wrth yr holl wragedd, Gwrandêwch air yr ARGLWYDD, holl Judah y rhai *ydych* yngwlâd yr Aipht.

25 Fel hyn y llefarodd ARGLWYDD y lluoedd, Duw Israel, gan ddywedyd, [k] Chwychwi a'ch gwragedd a lefarasoch â'ch genau, ac a gyflawnasoch â'ch dwylaw, gan ddywedyd, Gan dalu ni a dalwn ein haddunedau y rhai a addunasom, am arogl-darthu i frenhines y nefoedd, ac am dywallt dïod-offrwm iddi; llwyr y cwblhêwch eich addunedau, a llwyr y telwch yr hyn a addunedasoch.

*[k] Adn. 15, &c.*

26 Am hynny gwrandêwch air yr ARGLWYDD, holl Judah y rhai sy'n aros yngwlâd yr Aipht; Wele, myfi a dyngais i'm henw mawr, medd yr ARGLWYDD, na elwir fy enw i mwyach, o fewn holl wlad yr Aipht yngenau un gwr o Judah, gan ddywedyd, Byw yw'r ARGLWYDD DDUW.

27 Wele, [l] mi a wyliaf arnynt hwy er niweid, ac nid er daioni: a holl wŷr Judah, y rhai *sy* yngwlâd yr Aipht, a ddifethir â'r cleddyf, ac â newyn, hyd oni ddarfyddont.

*[l] Pen. 1. 12. a 31. 28.*

28 [m] A'r rhai *a* ddïangant gan y cleddyf, *ac* a ddychwelant o wlad yr Aipht i wlad Judah, *fyddant* ychydig o nifer: a holl weddill Judah, y rhai a aethant i wlad yr Aipht i aros yno, a gânt wybod gair pwy a saif, † ai'r eiddof fi, ai yr eiddynt hwy.

*[m] Adn. 14.*
*† Heb. ai oddi wrthyf fi, ai oddi wrthynt hwy.*

29 ¶ A hyn *fydd* yn arwydd i chwi, medd yr ARGLWYDD, *sef* yr ymwelaf â chwi yn y lle hwn, fel y gwypoch y saif fy ngeiriau i'ch erbyn chwi er niweid.

30 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Wele, myfi a roddaf Pharaoh-hophra frenhin yr Aipht yn llaw ei elynion, ac yn llaw'r rhai sy'n ceisio ei einioes ef, fel y rhoddais i Sedecïah frenhin Judah yn llaw Nebuchodonosor brenhin Babilon ei elyn, a'r hwn oedd yn ceisio ei einioes.

## PEN. XLV.

1 *Baruch, yn ei anghysur,* 4 *yn cael ei ddysgu, a'i gysuro gan Jeremi.* Awst 9. B.

Y Gair yr hwn a lefarodd Jeremi y prophwyd wrth Baruch fab Neriah, [a] pan ysgrifenasai efe'r geiriau hyn o enau Jeremi mewn llyfr, yn y bedwaredd flwyddyn i Jehoiacim fab Josïah brenhin Judah, gan ddywedyd,

*607.*
*[a] Pen. 36. 1, 4.*

2 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Duw Israel, wrthyt ti, Baruch;

3 Tydi a ddywedaist, Gwae fi yn awr! canys yr ARGLWYDD a 'chwanegodd dristwch ar fy ngofid; myfi a ddiffygiais yn fy ochain, ac nid wyf yn cael gorphwysdra.

4 ¶ Fel hyn y dywedi wrtho ef, Yr ARGLWYDD a ddywed fel hyn, Wele, myfi a ddistrywiaf yr hyn a adeiladais, a mi a ddiwreiddiaf yr hyn a blennais, nid amgen yr holl wlad hon.

5 Ac a geisi di fawredd i ti dy hun? Na chais: canys wele, myfi a ddygaf ddrwg ar bob cnawd, medd yr ARGLWYDD: ond [b] mi a roddaf i ti dy einioes yn ysglyfaeth ym mha le bynnag yr elych di.

*[b] Pen. 21. 9. a 38. 2. a 39. 18.*

## PEN. XLVI.

A bon hefyd. 1 *Jeremi yn prophwydo dinystr llu Pharaoh wrth Euphrates. 13 ac y goresgynid yr Aipht gan Nebuchodonosor. 27 Y mae'n cysuro Jacob yn eu cerydd.*

607. GAIR yr ARGLWYDD yr hwn a ddaeth
at Jeremi y prophwyd, yn erbyn y
Cenhedloedd,
2 Yn erbyn yr Aipht, yn erbyn llu Pha-
raoh-necho brenhin yr Aipht, yr hwn oedd
[a] 2 Chron. 35. 20. wrth afon Euphrates yn [a] Charchemis, yr
hwn a ddarfu i Nebuchodonosor brenhin
Babilon ei daraw, yn y bedwaredd flwydd-
yn i Jehoiacim fab Josiah brenhin Judah.
3 Teclwch y darian a'r astalch, a nesêwch
i ryfel.
4 Cenglwch y meirch, ac ewch arnynt,
farchogion; sefwch yn *eich* helmau, gloywch
y gwaywffyn, gwisgwch y llurigau.
5 Pa ham y gwelais hwynt yn ddychryn-
edig, wedi cilio yn eu hol, a'u cedyrn
† Heb. *wedi eu dryllio.* † wedi eu curo i lawr, a ffoi ar ffrwst, ac
heb edrych yn eu hol? dychryn *sydd* o am-
gylch, medd yr ARGLWYDD.
6 Na chaed y buan ffoi, na'r cadarn
ddïangc; tu a'r gogledd, ger llaw afon
Euphrates, y tripiant, ac y syrthiant.
7 Pwy *yw* hwn *sydd* yn ymgodi fel
‡ *llifo.* afon, a'i ddyfroedd yn ‡ dygyfor fel yr
afonydd?
8 Yr Aipht sydd fel afon yn ymgodi, a'i
dyfroedd sy'n dygyfor fel yr afonydd: a
hi a ddywed, Mi a af i fynu, *ac* a orchudd-
iaf y ddaear; myfi a ddifethaf y ddinas, a'r
rhai sydd yn trigo ynddi.
9 O feirch, deuwch i fynu; a chwithau
gerbydau, ymgynddeiriogwch; a deuwch
§ Heb. *Cus.* allan y cedyrn; § yr Ethiopiaid, a'r ‖ Li-
biaid, y rhai sy'n dwyn tarian; a'r Lyd-
‖ Heb. *Put.* iaid, [b] y rhai sydd yn teimlo *ac* yn annelu
[b] Esay 66. 19. bwa.
10 Canys dydd ARGLWYDD DDUW'r llu-
oedd *yw* hwn, dydd dïal, fel yr ymddïalo
efe ar ei elynion: a'r cleddyf a ysa, ac a
ddigonir, ac a feddwir â'u gwaed hwynt:
[c] Seph. 1. 7. canys [c] aberth sydd i ARGLWYDD DDUW'r
Edrych Ezec. 39. 17. lluoedd yn nhir y gogledd wrth afon Eu-
phrates.
11 [d] O forwyn, ferch yr Aipht, dos i fynu
[d] Esay 47. 1. i Gilead, a chymmer [e] drïagl: yn ofer yr
arferi lawer o feddyginiaethau; canys ni
[e] Pen. 8. 22. a 51. 8. *bydd* iachâd i ti.
Ezec. 30. 21. 12 Y cenhedloedd a glywsant dy warad-
wydd, a'th waedd a lanwodd y wlad; canys
cadarn wrth gadarn a dramgwyddodd, *a*
hwy ill dau a gyd-syrthiasant.
Cyflawnwyd 571. 13 ¶ Y gair yr hwn a lefarodd yr AR-
GLWYDD wrth Jeremi y prophwyd, y deuai
[f] Esay 19. 1. Nebuchodonosor brenhin Babilon, *ac* [f] y
tarawai wlad yr Aipht.
Ezec. 29, a 30, a 32. 14 Mynegwch yn yr Aipht, cyhoeddwch
ym Migdol, hyspyswch yn Noph, ac yn
Tapanhes: dywedwch, Saf, a bydd ba-
rod; oblegid y cleddyf a ysa dy amgylch-
oedd.
† Neu, *yr ysgubwyd ymaith.* 15 Pa ham † y syrthiodd dy rai cryfion?
ni safasant, am i'r ARGLWYDD eu gwthio
hwynt.
‡ Heb. *amlhaodd y cwympedig.* 16 Efe a ‡ wnaeth i lawer syrthio, ïe pawb
a syrthiodd ar eu gilydd; a hwy a ddywed-
asant, Cyfodwch, a dychwelwn at ein pobl,
i wlad ein genedigaeth, rhag cleddyf y gor-
thrymmwr.
17 Yno y gwaeddasant, Pharaoh brenhin
yr Aipht *nid yw ond* trwst; aeth dros yr
amser nodedig.
18 *Fel mai* byw fi, medd y Brenhin, enw
yr hwn *yw* ARGLWYDD y lluoedd, cyn
sicred *a bod* Tabor yn y mynyddoedd, a
Charmel yn y môr, efe a ddaw.
19 O ferch drigiannol yr Aipht, gwna i ti
offer caeth-glud; canys Noph a fydd ang-
hyfannedd, ac a ddifethir heb breswylydd.
20 Yr Aipht *sydd* anner brydferth, y mae
dinystr yn dyfod: o'r gogledd y mae'n
dyfod.
21 Ei gwŷr cyflog hefyd *sydd* o'i mewn
hi fel lloi § pasgedig: canys hwythau hefyd § Heb. *o'r basgfa*
a droisant eu hwynebau, *ac* a gyd-ffoisant;
*ac* ni safasant, o herwydd dydd eu gofid, *ac*
amser eu gofwy a ddaethai arnynt.
22 Ei llais hi a â allan fel sarph: canys â
llu yr ant hwy, ac â bwyill y deuant yn ei
herbyn hi, fel cymynwŷr coed.
23 Hwy a gymynant i lawr ei choed hi,
medd yr ARGLWYDD, er na ellir ei chwi-
lio: canys amlach fyddant na'r ceiliogod
rhedyn, ac heb rifedi arnynt.
24 Merch yr Aipht a gywilyddir; hi a
roddir yn llaw pobl y gogledd.
25 ARGLWYDD y lluoedd, DUW Israel,
sydd yn dywedyd, Wele, myfi a ymwelaf â
‖ lliaws [g] No, ac â Pharaoh, ac â'r Aipht, ‖ Neu, *maethydd No.*
ac [h] â'i duwiau hi, ac â'i brenhinoedd, sef
â Pharaoh, ac â'r rhai sydd yn ymddiried Heb. *Amon.*
ynddo.
26 A mi a'u rhoddaf hwynt yn llaw y [g] Ezec. 30. 15.
rhai sydd yn ceisio eu heinioes, ac yn llaw Nah. 3. 8.
Nebuchodonosor brenhin Babilon, ac yn llaw [h] Pen. 43.
ei weision ef; ac [i] wedi hynny hi a gyfan- 12, 13.
neddir megis y dyddiau gynt, medd yr AR- Ezec. 30. 13.
GLWYDD.
27 ¶ [k] Ond nac ofna di, O fy ngwas Ja- [i] Ezec. 29. 11, 13.
cob; a thithau Israel, na ddychryna; canys [k] Esay 41.
wele, myfi a'th gadwaf di o bell, a'th had 13. a 43. 5.
o wlad eu caethiwed; a Jacob a ddychwel, a 44. 2.
ac a orphwys, ac a fydd esmwyth arno, ac Pen. 30. 10.
heb neb a'i dychryno.
28 O fy ngwas Jacob, nac ofna, medd yr
ARGLWYDD; canys *yr ydwyf* fi gyd â thi;
canys mi a wnaf ddiben ar yr holl gen- [l] Pen. 10.
hedloedd y rhai y'th fwriais attynt; ond ni 24. a 30. 11.
wnaf fi [l] ddiben arnat ti; eithr mi a'th gos- † Neu,
paf di † mewn barn, ac ni'th dorraf ymaith *wrth rai.*
yn llwyr.

## PEN. XLVII.

*Dinystr y Philistiaid.* Awst 9. P.

GAIR yr ARGLWYDD yr hwn a ddaeth 600.
at Jeremi y prophwyd [a] yn erbyn y [a] Pen. 25. 20.
Philistiaid, cyn i Pharaoh daro † Gaza. Ezec. 25.
2 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; 15.
Wele, [b] dyfroedd a gyfodant [c] o'r gogledd, Amos 1. 6.
ac a fyddant fel afon lifeiriol, a hwy a Seph. 2. 4, 5.
lifant dros y wlad, ‡ a'r hyn sydd ynddi; † Heb.
y ddinas, a'r rhai sy'n aros ynddi; yna y *Azzah.*
dynion a waeddant, a holl breswylwŷr y [b] Esay 8. 7.
wlad a udant. [c] Pen. 1.
3 Rhag swn twrf carnau ei *feirch* cryf- 14.
ion, rhag trwst ei gerbydau, *a* thrwst ei ‡ Heb.
olwynion ef, y tadau nid edrychant yn ol *a'i chyflawnder.*
ar eu plant, gan wendid dwylaw:
4 O achos y dydd sydd yn dyfod i ddi- [d] Pen. 25.
strywio'r holl Philistiaid, *ac* i ddinystrio o 22.
[d] Tyrus a Sidon bob cynhorthwywr ag [e] Amos 9. 7.
y sydd yngweddill: oblegid yr ARGLWYDD § Neu,
a ddinystria'r Philistiaid, [e] gweddill § ynys *gwlad.*
Caphtor. [f] Mich. 1.
5 [f] Moelni a ddaeth ar Gaza, torrwyd 16.
ymaith [g] Ascelon, *gyd* â'r rhan arall o'u [g] Pen. 25. 20.
dyffrynoedd hwynt: pa hŷd [h] yr ymrwygi [h] Pen. 16.
di? 6. a 48. 37.

6 Oh cleddyf yr ARGLWYDD, pa hŷd ni
* Heb. *ymgasgl.* lonyddi? † dychwel i'th wain, gorphwys a
bydd ddistaw.
‡ Heb. *llonyddi di, &c.* 7 Pa fodd y ‡ llonydda efe, gan i'r AR-
GLWYDD ei orchymyn ef yn erbyn Ascelon,
ac yn erbyn glan y môr? yno y gosododd
ef.

## PEN. XLVIII.

Awst 10. B. 1 *Barnedigaeth Moab, 7 am eu balchder,*
*11 a'u diofalwch, 14 a'u hyder cnawdol,*
*26 a'u dirmyg ar Dduw, a'i bobl. 47*
*Adferu Moab.*

600. FEL hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd,
a Esay 15, Duw Israel, yn erbyn [a] Moab, Gwae
a 16. Nebo, canys hi a anrheithiwyd: gwarad-
Pen. 25. 21. wyddwyd Ciriathâim, ac ynillwyd hi;
a 27. 3. † Misgab a waradwyddwyd, ac a ddy-
Ezec. 25. 9. chrynwyd.
Amos 2. 1. † Neu, *yr uchelfa.*
2 Ni *bydd* ‡ ymffrost Moab mwy: yn
‡ Neu, *clod.* Hesbon hwy a ddychymygasant ddrwg i'w
herbyn hi; Deuwch, dinystriwn hi i lawr,
fel na *byddo* yn genedl. Tithau Madmen a
§ Neu, *ddistrywir.* § dorrir i lawr, y cleddyf ‖ a'th erlid.
3 Llef yn gweiddi *a glywir* o Horonâim;
‖ Heb. *a â ar dy ôl.* anrhaith, a dinystr mawr.
4 Moab a ddistrywiwyd, gwnaeth ei rhai
bychain glywed gwaedd.
b Esay 15. 5. 5 [b] Canys yn rhiw Luhith, galar a â i
fynu mewn wylofain, ac yngoriwared Ho-
ronâim, y gelynion a glywsant waedd di-
nystr.
6 Ffowch, achubwch eich einioes; a
c Pen. 17. 6. [c] byddwch fel y † grug yn yr anialwch.
† Neu, *noeth-bren.* 7 ¶ O herwydd am i ti ymddiried yn dy
weithredoedd a'th drysorau dy hun, tithau
a ddelir: [d] Chemos hefyd [e] a â allan i
d Num. 21. 29. gaethiwed, *a'i* offeiriaid a'i dywysogion
ynghyd.
e Pen. 49. 3. Edrych Esay 46. 1, 2. 8 A'r anrheithiwr a ddaw i bob dinas, ac
ni ddiange un ddinas: eithr derfydd am y
dyffryn, a'r gwastad a ddifwynir, megis y
dywedodd yr ARGLWYDD.
9 Rhoddwch adenydd i Moab, fel yr
ehedo ac yr elo ymaith; canys ei dinasoedd
hi a fyddant anghyfannedd, heb breswy-
lydd ynddynt.
f Edrych Barn. 5. 23. 10 [f] Melldigedig *fyddo*'r hwn a wnelo
waith yr ARGLWYDD yn ‡ dwyllodrus, a
‡ Neu, *esgeulus.* melldigedig *fyddo*'r hwn a attalio ei gledd-
yf oddi wrth waed.
11 ¶ Moab a fu esmwyth arni er ei hieu-
g Seph. 1. 12. engctid, a hi [g] a orphwysodd ar ei gwaddod,
ac ni thywalltwyd hi o lestr i lestr, ac nid
aeth hi i gaethiwed: am hynny y safodd
ei blas arni, ac ni newidiodd ei harogl.
12 Am hynny wele'r dyddiau'n dyfod,
medd yr ARGLWYDD, pan anfonwyf fud-
wŷr, y rhai a'i mudant hi, ac a waghânt ei
llestri hi, ac a ddrylliant eu costrelau.
13 A Moab a gywilyddia oblegid Chemos,
h 1 Bren. 12. 29. fel y cywilyddiodd tŷ Israel oblegid [h] Beth-
el eu hyder hwynt.
i Esay 16. 14 ¶ Pa fodd y dywedwch chwi, [i] Cedyrn
*ydym* ni a gwŷr nerthol i ryfel?
15 Moab a anrheithiwyd, ac a aeth i fynu
§ Heb. *dewis ei wŷr ieuainge.* o'i dinasoedd, § a'i dewis wŷr ieuaingc a
ddisgynasant i'r lladdfa, medd y Brenhin,
a'i enw ARGLWYDD y lluoedd.
16 Agos yw dinystr Moab i ddyfod, a'i
dïaledd hi sydd yn brysio yn ffest.
17 Alaethwch drosti hi, y rhai ydych o'i
hamgylch; a phawb a'r a edwyn ei henw hi,
dywedwch, Pa fodd y torrwyd y ffon gref,
*a'r* wïalen hardd!
k Esay 47. 18 [k] O breswylferch Dibon, disgyn o'*th*
ogoniant, ac eistedd mewn syched; canys
anrheithiwr Moab a ddaw i'th erbyn, *ac* a
ddinystria dy amddiffynfeydd.
19 Preswylferch Aroër, saf ar y ffordd, a
gwylia; gofyn i'r hwn a ffyddo yn ffoi, ac i'r
hon a ddïango, *a* dywed, Beth a ddarfu?
20 Gwaradwyddwyd Moab, canys hi a
ddinystriwyd: [l] udwch, a gwaeddwch; my- l Esay 16. 7.
negwch yn Arnon anrheithio Moab;
21 A barn a ddaw ar y tir gwastad, ar
Holon, ac ar Jahasah, ac ar Mephaath,
22 Ac ar Ddibon, ac ar Nebo, ac ar Beth-
diblathâim,
23 Ac ar Ciriathâim, ac ar Beth-gamul,
ac ar Beth-meon,
24 Ac ar Cerioth, ac ar Bosrah, ac ar
holl ddinasoedd gwlad Moab, ym mhell ac
yn agos.
25 [m] Corn Moab a ysgythrwyd, a'i braich m Psal. 75.
hi a dorrwyd, medd yr ARGLWYDD. 10.
26 ¶ [n] Meddwwch hi, oblegid hi a *ym-* n Pen. 25.
fawrygodd yn erbyn yr ARGLWYDD: ie, 27.
Moab a ymdrybaedda yn ei chwydfa, am
hynny y bydd hi hefyd yn watwargerdd.
27 Ac [o] oni bu Israel yn watwargerdd i o Seph. 2.
ti? a gafwyd ef ym mysg lladron? canys er 8.
pan soniaist am dano, yr ymgynhyrfaist.
28 Trigolion Moab, gadewch y dinas-
oedd, ac [p] arhoswch yn y graig, a byddwch p Psal. 55.
megis colommen *yr hon* a nytha yn yr ystlys- 6, 7.
au ar fin y twll.
29 [q] Nyni a glywsom falchder Moab (*y* q Esay 16.
*mae hi* yn falch iawn) ei huchder, a'i rhy- 6, &c.
fyg, a'i hymchwydd, ac uchder ei chalon.
30 Myfi a adwaen ei llid hi, medd yr
ARGLWYDD; ond nid felly *y bydd;* ‖ ei ‖ Neu, *ei hattegion* (Heb.
chelwyddau hi ni wnant felly. *barrau*)
31 Am hynny [r] yr udaf fi dros Moab, ac *hi ni wnant*
y gwaeddaf dros holl Moab: *fy nghalon* a *uniondeb.*
riddfana dros wŷr Cir-heres.
32 Myfi a wylaf drosot ti, gwinwŷdden r Esay 15.
Sibmah, ag wylofain Jazer; dy gangau a 5.
aethant dros y môr, hyd fôr Jazer y cyr-
haeddant: yr anrheithiwr a ruthrodd ar dy
ffrwythydd haf, ac ar dy gynhauaf gwin.
33 A dygir ymaith [s] lawenydd a gorfo- s Esay 16.
ledd o'r dôl-dir, ac o wlad Moab, a mi a 10.
wnaf i'r gwin ddarfod o'r cafnau: ni sathr Joel 1. 12.
neb trwy floddest; *eu* bloddest ni *bydd* blod-
dest.
34 [t] O floedd Hesbon hyd Elealeh, *a* hyd t Esay 15.
Jahaz, y llefasant, o Soar hyd Horonâim, 4, 5, 6.
*fel* anner deirblwydd: canys dyfroedd Nim-
rim a fyddant † anghyfannedd. † Heb. *anghyfanneddœdd.*
35 Mi a wnaf hefyd ballu ym Moab,
medd yr ARGLWYDD, [u] yr hwn sydd yn
offrymmu mewn uchelfeydd, a'r hwn sydd u Esay 15.
yn arogl-darthu i'w dduwiau. 2. a 16. 12.
36 Am hynny [x] y lleisia fy nghalon am x Esay 15.
Moab fel pibellau, ac am wŷr Cir-heres y 5. a 16. 11.
lleisia fy nghalon fel pibellau: oblegid
[y] darfod y golud a gasglodd. y Esay 15.
37 Oblegid [z] pob pen *a fydd* moel, a 7.
phob barf a ‡ dorrir; ar bob llaw *y bydd* z Esay 15. 2, 3.
rhwygiadau, ac am y llwynau, sachliain. Pen. 47. 5.
38 Ar holl bennau tai Moab, a'i heolydd ‡ Heb. *gwttogir.*
oll, *y bydd* alaeth: oblegid myfi a dorrais
Moab fel [a] llestr heb hoffder ynddo, medd a Pen. 22. 28.
yr ARGLWYDD.
39 Hwy a udant, *gan ddywedyd,* Pa fodd
y bwriwyd hi i lawr! pa fodd y trodd
Moab *ei* gwarr trwy gywilydd! Felly Moab
a fydd yn watwargerdd, ac yn ddychryn b Deut. 28.
i bawb o'i hamgylch. 49.
40 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Pen. 49. 22.
Wele, [b] efe a ehed fel eryr, ac a leda ei Dan. 7. 4.
adenydd dros Moab. Hos. 8. 1.
Hab. 1. 8.

† *Cerioth.* — c Pen. 49. 22.

41 † Y dinasoedd a oresgynir, a'r amddiffynfeydd a ynnillir, a c chalon cedyrn Moab fydd y dydd hwnnw fel calon gwraig wrth esgor.

42 A Moab a ddifethir o fod yn bobl, am iddi *ymfawrygu* yn erbyn yr ARGLWYDD.

d Esay 24. 17, 18.

43 d Ofn, a ffos, a magl *a ddaw* arnat ti, trigiannol Moab, medd yr ARGLWYDD.

44 Y neb a ffŷ rhag yr ofn, a syrth yn y ffos; a'r hwn a gyfyd o'r ffos, a ddelir yn y fagl: canys myfi a ddygaf arni, *sef* ar Moab, flwyddyn eu hymweliad, medd yr ARGLWYDD.

e Num. 21. 28. — f Num. 24. 17. — ‡ Heb. *meibion y trwst.*

45 Ynghysgod Hesbon y safodd y rhai a ffoisant rhag y cadernid: eithr e tân a ddaw allan o Hesbon, a fflam o ganol Sihon, ac f a ysa gongl Moab, a choryn ‡ y meibion trystfawr.

g Num. 21. 29. — § Heb. *mewn caethglud.*

46 g Gwae di, Moab; darfu am bobl Chemos: canys cymmerwyd ymaith dy feibion § yn gaethion, a'th ferched yn gaethion.

h Pen. 49. 6, 39.

47 ¶ Etto h myfi a ddychwelaf gaethiwed Moab yn y dyddiau diweddaf, medd yr ARGLWYDD. Hyd yma *y mae* barn Moab.

## PEN. XLIX.

Awst 10. P.

1 *Barnedigaeth yr Ammoniaid:* 6 *a'u hadferiad.* 7 *Barnedigaeth Edom,* 23 *Damascus,* 28 *Cedar,* 30 *Hasor,* 34 *ac Elam.* 39 *Adferiad Elam.*

† Neu, *Yn erbyn meibion, &c.* — a Ezec. 21. 28. a 25. 2. Am. 1. 13. Seph. 2. 8, 9. — ‡ Neu, *Melcom.* — b Amos 1. 14.

† AM a feibion Ammon, fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Onid oes meibion i Israel? onid oes etifedd iddo? pa ham y mae ‡ eu brenhin hwynt yn etifeddu Gad, a'i bobl yn aros yn ei ddinasoedd ef?

2 Am hynny wele'r dyddiau'n dyfod, medd yr ARGLWYDD, pan wnelwyf glywed trwst rhyfel yn b Rabbah meibion Ammon; a hi a fydd yn garnedd anghyfanneddol, a'i merched hi a losgir â thân: yna Israel a feddianna y rhai a'i meddiannasant ef, medd yr ARGLWYDD.

c Esay 32. 11. Pen. 4. 8. a 6. 26. — d Pen. 48. 7. Amos 1. 15. — § Neu, *Melcom.*

3 Uda, Hesbon, am anrheithio Ai: gwaeddwch, chwi merched Rabbah, c ymwregyswch mewn sachliain; alaethwch, a gwibiwch gan y gwrychoedd: oblegid d § eu brenhin a â i gaethiwed, ei offeiriaid a'i bennaethiaid ynghyd.

e Pen. 21. 13.

4 Pa ham yr ymffrosti di yn y dyffrynoedd? llifodd dy ddyffryn di ymaith, O ferch wrthnysig, yr hon a ymddiriedodd yn ei thrysorau, e *gan ddywedyd*, Pwy a ddaw attaf fi?

5 Wele, myfi a ddygaf arswyd arnat ti, medd ARGLWYDD DDUW'r lluoedd, rhag pawb o'th amgylch: a chwi a yrrir allan bob un o'i flaen, ac ni *bydd* a gasglo'r crwydrad.

f Felly Pen. 48. 47. a adn. 39.

6 Ac f wedi hynny myfi a ddychwelaf gaethiwed meibion Ammon, medd yr ARGLWYDD.

g Ezec. 25. 12. Amos 1. 11. — h Obad. 8.

7 ¶ Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd g am Edom, h Onid *oes* ddoethineb mwy yn Teman? a fethodd cyngor gan y rhai deallgar? a fethodd eu doethineb hwynt?

i Adn. 30. — ‖ Neu, *troisant eu cefnau.* — k Pen. 25. 23.

8 i Ffowch, ‖ trowch eich cefnau, ewch yn isel i drigo, preswylwŷr k Dedan: canys mi a ddygaf ddinystr Esau arno, amser ei ofwy.

l Obad. 5. — † Heb. *eu digon.*

9 l Pe deuai cynhauafwŷr gwin attat ti, oni weddillent hwy loffion grawn? pe lladron liw nos, hwy a anrheithient † nes cael digon.

10 Ond myfi a ddinoethais Esau, *ac* a ddatguddiais ei lochesau ef, fel na allo llechu: ei had ef a ddifethwyd, a'i frodyr a'i gymmydogion, ac nid *yw* efe.

11 Gâd dy amddifaid, myfi a'u cadwaf *hwynt* yn fyw; ac ymddirieded dy weddwon ynof fi.

m Pen. 25. 29. Obad. 16.

12 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, Wele, m y rhai nid *oedd* eu barn i yfed o'r phiol, gan yfed a yfasant, ac a ddiengi di yn ddigerydd? na ddiengi, eithr tithau a yfi'n sicr.

13 Canys i mi fy hun y tyngais, medd yr ARGLWYDD, mai'n anghyfannedd, yn warth, yn anialwch, ac yn felldith, y bydd Bosrah; a'i holl ddinasoedd yn ddiffaethwch tragywyddol.

n Obad. 1.

14 n Myfi a glywais chwedl oddi wrth yr ARGLWYDD, bod cennad wedi ei anfon at y cenhedloedd, *yn dywedyd*, Ymgesglwch, a deuwch yn ei herbyn hi, a chyfodwch i'r rhyfel.

15 O herwydd wele, myfi a'th wnaf di yn fychan ym mysg y cenhedloedd, *ac* yn wael ym mhlith dynion.

o Obad. 4. — p Job 39. 27.

16 Dy erwindeb a'th dwyllodd, *a* balchder dy galon, ti yr hon ydwyt yn aros ynghromlechydd y graig, ac yn meddiannu uchelder y bryn: o er i ti p osod dy nyth cyn uched a'r eryr, myfi a wnaf i ti ddisgyn oddi yno, medd yr ARGLWYDD.

q Pen. 50. 13.

17 Edom hefyd a fydd yn anghyfannedd: q pawb a'r a elo heibio iddi a synna, ac a chwibana am ei holl ddïaleddau hi.

r Gen. 19. 25. Deut. 29. 23. Pen. 50. 40. Amos 4. 11.

18 r Fel yn ninystr Sodom a Gomorrah, a'i chymmydogesau, medd yr ARGLWYDD; ni phreswylia neb yno, ac nid erys mab dyn ynddi.

s Pen. 50. 44, &c. — t Pen. 12. 5. — u Exod. 15. 11. — x Job 41. 10. — ‡ Neu, *a'm geilw i farn?*

19 s Wele, fel llew y daw i fynu oddi wrth t ymchwydd yr Iorddonen, i drigfa'r cadarn; eithr mi a wnaf iddo redeg yn ddisymmwth oddi wrthi hi: a phwy *sy* wr dewisol, a osodwyf fi arni hi? canys u pwy *sydd* fel myfi? a phwy x ‡ a esyd i mi amser? a phwy *yw*'r bugail hwnnw a saif o'm blaen i?

20 Am hynny gwrandêwch gyngor yr ARGLWYDD, yr hwn a gymmerodd efe yn erbyn Edom, a'i fwriadau a fwriadodd efe yn erbyn preswylwŷr Teman: yn ddiau y rhai lleiaf o'r praidd a'u llusgant hwy; yn ddïau efe a wna yn anghyfannedd eu trigleoedd gyd â hwynt.

§ Heb. *ym môr y gummum.*

21 Gan lef eu cwymp hwynt y cryn y ddaear: llais eu gwaedd hwynt a glybuwyd § yn y môr coch.

y Pen. 4. 13. a 48. 40, 41.

22 Wele, y fel eryr y daw i fynu, ac efe a eheda ac a leda ei adenydd dros Bosrah: yna y bydd calon cedyrn Edom y dydd hwnnw fel calon gwraig wrth esgor.

z Esay 17. 1. a 37. 13. Amos 1. 3. Zech. 9. 1, 2. — ‖ Heb. *toddasant.* — † Neu, *fel ar y môr.*

23 ¶ z Am Ddamascus. Hamath ac Arpad a waradwyddwyd; o herwydd hwy a glywsant chwedl drwg; ‖ llesmeiriasant; *y mae* gofal † ar y môr heb fedru gorphwys.

a Pen. 4. 31. a 6. 24. a 30. 6.

24 Damascus a lesgaodd, *ac* a ymdrŷ i ffoi, ond dychryn a'i goddiweddodd *hi*; a gwasgfa a phoenau a'i daliodd hi fel gwraig yn esgor.

25 Pa fodd na adewir dinas moliant, caer fy llawenydd?

b Pen. 50. 30.

26 b Am hynny ei gwŷr ieuaingc a syrthiant yn ei heolydd, a'r holl ryfelwŷr a ddifethir y dydd hwnnw, medd ARGLWYDD y lluoedd.

c Amos 1. 4.

27 A mi a gynneuaf c dân ym mur Damascus, ac efe a ddifa lysoedd Benhadad.

d Esay 21. 13.

28 ¶ d Am Cedar, ac am deyrnasoedd Hasor, y rhai a ddinystria Nebuchodonosor

brenhin Babilon, fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD; Cyfodwch, ewch i fynu yn erbyn
Cedar, ac anrheithiwch feibion y dwyrain.
29 Eu lluestai a'u diadellau a gymmerant
ymaith; eu llenni, a'u holl lestri, a'u camel-
od, a gymmerant iddynt eu hunain; a hwy
a floeddiant arnynt, *Y mae* ofn o amgylch.
e Adn. 8. 30 ¶ e Ffowch, ciliwch † ym mhell, ewch
† Heb. yn isel i drigo, preswylwŷr Hasor, medd
*yn ddirfawr.* yr ARGLWYDD: o herwydd Nebuchodono-
sor brenhin Babilon a gymmerodd gyngor
yn eich erbyn chwi, ac a fwriadodd fwriad
yn eich erbyn chwi.
31 Cyfodwch, ac ewch i fynu at y genedl
‡ Neu, *esmwyth* ‡ oludog, yr hon sydd yn trigo yn ddiofal,
*arni.* medd yr ARGLWYDD, heb ddorau na bar-
rau iddi; wrthynt eu hunain *y maent* yn
trigo.
32 A'u camelod a fydd yn anrhaith, a'u
minteioedd anifeiliaid yn yspail, a mi a
f Pen. 9. wasgaraf tu a phob gwŷnt f y rhai § *sy* yn
26. a 25. 23. y conglau eithaf; a myfi a ddygaf o bob
§ Heb. *a dorrwyd* ystlys iddi eu dinystr hwynt, medd yr AR-
*i gonglau,* GLWYDD.
neu, *dor-* 33 Hasor hefyd g fydd yn drigfa dreigiau,
*rwyd cyr-* ac yn anghyfannedd byth: ni phreswylia
*rau eu gwallt.* neb yno, ac nid erys mab dyn ynddi.
598. 34 ¶ Gair yr ARGLWYDD yr hwn a
g Pen. 9. ddaeth at Jeremi'r prophwyd yn erbyn
11. a 10. 22. Mal. 1. 3. h Elam, yn nechreu teyrnasiad Sedeciah
h Pen. 25. brenhin Judah, gan ddywedyd,
25. 35 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y llu-
oedd; Wele fi'n torri bwa Elam, eu ca-
dernid pennaf hwynt.
36 A mi a ddygaf ar Elam bedwar gwŷnt
o bedwar eithaf y nefoedd, a mi a'u gwas-
garaf hwynt tu a'r holl wyntoedd hyn; ac
ni bydd cenedl at yr hon ni ddelo *rhai* o
grwydraid Elam.
37 Canys mi a yrraf ar Elam ofn eu ge-
lynion, a'r rhai a geisiant eu heinioes; a
myfi a ddygaf arnynt aflwydd, *sef* an-gerdd
fy nigofaint, medd yr ARGLWYDD; a mi
a anfonaf y cleddyf ar eu hol, nes i mi eu
difetha hwynt.
38 A mi a osodaf fy nheyrn-gadair yn
Elam, a mi a ddifethaf oddi yno y brenhin
a'r tywysogion, medd yr ARGLWYDD.
i Pen. 48. 47. 39 ¶ Ond yn y dyddiau diweddaf, i myfi
Adn. 6. a ddychwelaf gaethiwed Elam, medd yr AR-
GLWYDD.

## PEN. L.

Awst 11. B. 1, 9, 21, 35 *Barnedigaeth Babilon.* 4, 17,
33 *Ymwared Israel.*

595. Y Gair a lefarodd yr ARGLWYDD a yn
a Esay 13. 1. a 21. 1. erbyn Babilon, *ac* yn erbyn gwlad y
a 47. 1. Caldeaid, † trwy Jeremi y prophwyd.
† Heb. *trwy law* 2 Mynegwch ym mysg y cenhedloedd, a
*Jeremi.* chyhoeddwch, a chodwch arwydd: cyhoedd-
a Esay 46. wch, na chelwch: dywedwch, Goresgyn-
1. wyd Babilon, gwaradwyddwyd b Bèl, dryll-
Pen. 51. 44. iwyd Merodach: ei heilunod a gywilydd-
iwyd, a'i delwau a ddrylliwyd.
3 Canys o'r gogledd y daw cenedl yn ei
herbyn hi, yr hon a wna ei gwlad hi yn
anghyfannedd, fel na byddo preswylydd
ynddi: yn ddyn ac yn anifail y mudant, ac
y ciliant ymaith.
4 ¶ Yn y dyddiau hynny, ac yn yr amser
hwnnw, medd yr ARGLWYDD, meibion Is-
rael a ddeuant, hwy a meibion Judah yng-
c Ezra 3. hŷd, c dan gerdded ac wylo yr ant, ac y
12, 13. ceisiant yr ARGLWYDD eu Duw.
Psal. 126. 5 Hwy a ofynant y ffordd i Sïon, tu
5, 6.
Pen. 31. 9. ag yno *y bydd* eu hwynebau hwynt: Deu-
wch, *meddant*, a glynwn wrth yr AR-
GLWYDD, trwy d gyfammod tragywyddol *yr* d Pen. 32.
*hwn* nid anghofir. 31, &c.
6 Fy mhobl a fu *fel* praidd colledig; eu
bugeiliaid a'u gyrrasant hwy ar gyfeiliorn,
*ar* y mynyddoedd y troisant hwynt ymaith:
aethant o fynydd i fryn, anghofiasant eu
gorweddfa.
7 Pawb a'r a'u cawsant a'u difasant, e a'u e Pen. 40.
gelynion a ddywedasant, f Ni wnaethom ni 2, 3.
ar fai; canys hwy a bechasant yn erbyn yr Zech. 11. 5.
ARGLWYDD, g trigfe cyfiawnder; sef yr f Edrych Pen. 2. 3.
ARGLWYDD, gobaith eu tadau. g Psal. 90.
8 h Ciliwch o ganol Babilon, ac ewch 1. a 91. 1.
allan o wlad y Caldeaid; a byddwch fel h Esay 48.
bychod o flaen y praidd. 20.
Pen. 51. 6,
9 ¶ O herwydd wele, myfi a gyfodaf ac 45.
a ddygaf i fynu yn erbyn Babilon gynnull- Dat. 18. 4.
eidfa cenhedloedd mawrion o dir y gog-
ledd: a hwy a ymfyddinant yn ei herbyn;
oddi yno y goresgynir hi: eu saethau *fydd*
fel *saethau* cadarn ‡ cyfarwydd; ni ddy- ‡ Neu,
chwelant yn ofer. *yn dinystr-*
*io,* neu, *yn*
10 A Chaldea fydd yn yspail: pawb a'r *difuddio.*
a'i hyspeiliant hi a ddigonir, medd yr AR-
GLWYDD.
11 Am i chwi fod yn llawen, am i chwi
fod yn hyfryd, chwi fathrwŷr fy etifedd-
iaeth, am i chwi § frasâu fel anner *mewn* § Neu,
glaswellt, a beichio fel teirw; *gymmydu,*
neu, *fyned*
12 Eich mam a gywilyddir yn ddirfawr, *yn gor-*
a'r hon a'ch ymddûg a waradwyddir: wele, *phol,* neu,
yr olaf o'r cenhedloedd yn anialwch, yn *yn fawr.*
grasdir, ac yn ddiffaethwch.
13 O herwydd digofaint yr ARGLWYDD
ni's preswylir hi, eithr hi a fydd i gŷd yn
anghyfannedd: i pawb a el heibio i Babilon i Pen. 49.
a synna, ac a chwibana am ei holl ddïaledd- 17.
au hi.
14 Ymfyddinwch yn erbyn Babilon o am-
gylch; yr holl berchen bwaau, saethwch
atti, nac arbedwch saethau: oblegid hi a
bechodd yn erbyn yr ARGLWYDD.
15 Bloeddiwch yn ei herbyn hi o am-
gylch; hi a roddes ei llaw: ei sylfeini hi a
syrthiasant, ei muriau a fwriwyd i lawr;
o herwydd k dïal yr ARGLWYDD *yw* hyn: k Pen. 51.
dïelwch arni: l fel y gwnaeth, gwnewch 6, 11.
iddi. l Psal. 137.
8.
16 Torrwch ymaith yr hauwr o Babilon, Adn. 29.
a'r hwn a ddalio || grymman ar amser Dat. 18. 6.
cynhauaf: rhag cleddyf y gorthrymmwr || Neu,
m y troant bob un at ei bobl ei hun, ac y *bladur.*
ffoant bob un i'w wlad. m Esay 13.
14.
17 ¶ Fel dafad ar wasgar *yw* Israel; Pen. 51. 9.
llewod a'i hymlidiasant ymaith: brenhin
Assyria yn gyntaf a'i hysodd, a'r Nebuchodo-
donosor yma brenhin Babilon yn olaf † a'i † Neu,
dïesgyrnodd. *a ddrylliodd ei*
*esgyrn.*
18 Am hynny fel hyn y dywed AR-
GLWYDD y lluoedd, Duw Israel; Wele,
myfi a ymwelaf â brenhin Babilon, ac â'i
wlad, fel yr ymwelais â brenhin Assyria.
19 A mi a ddychwelaf Israel i'w drigfa,
ac efe a bawr *ar* Carmel a Basan; ac ar ‡ Neu,
fynydd Ephraim a Gilead y digonir ei *y gorth-*
enaid ef. *rymmwyr.*
20 Yn y dyddiau hynny, ac yn yr amser § Neu,
hwnnw, medd yr ARGLWYDD, y ceisir *y gofwy.*
anwiredd Israel, ac ni *bydd*; a phechodau n Edrych
Judah, ond ni's ceir hwynt: canys myfi a 2 Sam. 16.
faddeuaf i'r rhai a weddillwyf. 11
2 Bren. 18.
21 ¶ Dos i fynu yn erbyn gwlad ‡ Me- 25.
rathàim, *ie* yn ei herbyn hi, ac yn erbyn 2 Chron.
trigolion § Pecod: anrheithia di a difroda 36. 23.
ar eu hol hwynt, medd yr ARGLWYDD, a Esay 10. 6.
a 44. 28. a 48. 14.
gwna n yn ol yr hyn oll a orchymynais i ti. Pen. 34. 22.

22 Trwst rhyfel *sydd* yn y wlad, a dinystr
mawr.
23 Pa fodd y drylliwyd ac y torrwyd
[o] Pen. 51. 20. [o] gordd yr holl ddaear! pa fodd yr aeth
Babilon yn ddiffaethwch ym mysg y cen-
hedloedd!
24 Myfi a osodais fagl i ti, a thithau Ba-
bilon a ddaliwyd, a heb wybod i ti: ti a
gafwyd ac a ddaliwyd, o herwydd i ti
ymryson yn erbyn yr ARGLWYDD.
25 Yr ARGLWYDD a agorodd ei drysor,
ac a ddug allan arfau ei ddigofaint: canys
gwaith ARGLWYDD DDUW 'r lluoedd *yw*
hyn yngwlâd y Caldeaid.
26 Deuwch yn ei herbyn o'r cwrr eithaf,
† Neu, *pentyrrwch,* neu, *sathrwch.* agorwch ei hysguboriau hi; † dyrnwch hi
fel pentwr *ŷd*, a llwyr ddinystriwch hi: na
fydded gweddill o honi.
27 Lleddwch ei holl fustych hi; disgyn-
ant i'r lladdfa: gwae hwynt; canys eu
dydd a ddaeth, *ac* amser eu hymweliad.
28 Llef y rhai a ffoant ac a ddïangant o
[p] Pen. 51. 10, 11. wlad Babilon, [p] i ddangos yn Sïon ddïal yr
ARGLWYDD ein DUW ni, dïal ei deml ef.
29 Gèlwch y saethyddion ynghŷd yn er-
byn Babilon; y perchen bwaau oll, gwer-
syllwch i'w herbyn hi o amgylch; na
[q] Adn. 15. chafed neb ddïangc o honi: [q] telwch iddi
yn ol ei gweithred; ac yn ol yr hyn oll a
wnaeth hi, gwnewch iddi: o herwydd hi a
fu falch yn erbyn yr ARGLWYDD, yn erbyn
Sanct Israel.
[r] Pen. 49. 26. 30 [r] Am hynny ei gwŷr ieuaingc a syrth-
iant yn ei heolydd hi; a'i holl ryfelwŷr
a ddifethir y dydd hwnnw, medd yr AR-
GLWYDD.
‡ Heb. *falchder.* 31 Wele fi yn dy erbyn di, *O* ‡ falch,
medd ARGLWYDD DDUW 'r lluoedd; o her-
wydd dy ddydd a ddaeth, yr amser yr ym-
welwyf â thi.
32 A'r balch a dramgwydda ac a syrth,
ac ni *bydd* a'i cyfodo: a mi a gynneuaf
dân yn ei ddinasoedd, ac efe a ddifa ei holl
amgylchoedd ef.
33 ¶ Fel hyn y dywed ARGLWYDD y
lluoedd; Meibion Israel a meibion Judah a
orthrymmwyd ynghŷd; a phawb a'r a'u
caethiwodd hwynt a'u daliasant yn dynn,
ac a wrthodasant eu gollwng hwy ymaith.
34 Eu Gwaredwr *sydd* gryf; ARGLWYDD
y lluoedd *yw* ei enw; efe a lwyr ddadleu
eu dadl hwynt, i beri llonydd i'r wlad, ac
aflonyddwch i breswylwŷr Babilon.
35 ¶ Cleddyf *sydd* ar y Caldeaid, medd
yr ARGLWYDD, ac ar drigolion Babilon, ac
ar ei thywysogion, ac ar ei doethion.
§ Neu, *dewiniaid,* neu, *attegion pennaf.* Heb. *barriau.* 36 Cleddyf *sydd* ar y § celwyddog; a
hwy a ynfydant: cleddyf *sydd* ar ei che-
dyrn; a hwy a ddychrynant.
37 Cleddyf *sydd* ar ei meirch, ac ar ei cher-
bydau, ac ar yr holl [s] werin *sydd* yn ei chan-
[s] Pen. 25. 20, 24. ol hi; a [t] hwy a fyddant fel gwragedd: cledd-
yf *sydd* ar ei thrysorau; a hwy a yspeilir.
[t] Nah. 3. 13. 38 [u] Sychder *sydd* ar ei dyfroedd hi; a
hwy a sychant: o herwydd gwlad delwau
[u] Pen. 51. 32, 36. cerfiedig *yw* hi, ac mewn eilunod y maent
yn ynfydu.
[x] Esay 13. 21. a 34. 14. Pen. 51. 37. Dat. 18. 2. 39 Am hynny [x] anifeiliaid gwylltion yr
anialwch, a chathod a arhosant *yno*, a chyw-
ion yr estrys a drigant ynddi: ac ni phre-
swylir hi mwyach byth; ac ni's cyfanneddir
hi o genhedlaeth i genhedlaeth.
[y] Gen. 19. 25. Esay 13. 19. Pen. 49. 18. 40 [y] Fel yr ymchwelodd DUW Sodom a
Gomorrah, a'i chymmydogesau, medd yr
ARGLWYDD; *felly* ni phreswylia neb yno,
ac ni thrig mab dyn ynddi.

41 [z] Wele, pobl a ddaw o'r gogledd, a [z] Pen. 6. 22.
chenedl fawr, a brenhinoedd lawer a go-
dir o eithafoedd y ddaear.
42 Y bwa a'r waywffon a ddaliant; creu-
lon *ydynt*, ac ni thosturiant: [a] eu llef fel [a] Esay 5. 30.
môr a rua, ac ar feirch y marchogant yn
daclus i'th erbyn di, merch Babilon, fel
gŵr i ryfel.
43 Brenhin Babilon a glywodd son am
danynt, a'i ddwylaw ef a lesgasant: [b] gwasg- [b] Pen. 49. 24.
fa a'i daliodd ef, *a* gwewyr fel gwraig wrth
esgor.
44 [c] Wele, fel llew y daw i fynu oddi [c] Pen. 49. 19, &c.
wrth ymchwydd yr Iorddonen i drigfa'r
cadarn: eithr mi a wnaf iddo ef redeg yn
ddisymmwth oddi wrthi hi: a phwy *sy wr*
dewisol a osodwyf fi arni hi? canys pwy *sydd*
fel myfi? a [d] phwy a esyd i mi'r amser? a [d] Job 41. 10.
phwy *yw*'r bugail hwnnw a saif o'm blaen i?
45 Am hynny gwrandêwch chwi gyng-
or yr ARGLWYDD, yr hwn a gymmerodd
efe yn erbyn Babilon, a'i fwriadau a fwr-
iadodd efe yn erbyn gwlad y Caldeaid: yn
ddïau y rhai lleiaf o'r praidd a'u llusgant
hwy; yn ddïau efe a wna yn anghyfannedd
*eu* trigfeoedd gyd â hwynt.
46 Gan drwst goresgyniad Babilon y cyn-
hyrfa'r ddaear, ac y clywir y waedd ym
mysg y cenhedloedd.

## PEN. LI.

1 *Tost farnedigaeth Duw yn erbyn Babilon, er* Awst 11. P
*mwyn dïal am Israel.* 59 *Jeremi yn rhoddi*
*llyfr y brophwydoliaeth at Seraiah, i'w*
*fwrw i Euphrates, a hynny i arwyddocâu y*
*soddai Babilon dros byth.*

FEL hyn y dywed yr ARGLWYDD, Wele 595.
mysi a godaf wŷnt dinystriol yn erbyn
Babilon, ac yn erbyn y rhai sy'n trigo
† ynghanol y rhai a godant yn fy erbyn i; † Heb. *ynghalon.*
2 A mi a anfonaf i Babilon [a] nithwŷr, [a] Pen. 15. 7.
a hwy a'i nithiant hi, ac a waghânt ei thir
hi; o herwydd hwy a fyddant yn ei herbyn
hi o amgylch ar ddydd blinder.
3 Yn erbyn *yr hwn* a annelo, anneled
y saethydd ei fwa, ac yn erbyn *yr hwn*
sydd yn ymddyrchafu yn ei lurig: nac ar-
bedwch ei gwŷr ieuaingc, difrodwch ei
holl lu hi.
4 Felly y rhai lladdedig a syrthiant yng-
wlâd y Caldeaid, a'r *rhai* a drywanwyd [b] yn [b] Pen. 49. 26.
ei heolydd hi.
5 Canys Israel ni adawyd, na Judah gàn
ei DDUW, gan ARGLWYDD y lluoedd: er
bod eu gwlad hwynt yn llawn o gamwedd
yn erbyn Sanct yr Israel.
6 [c] Ffowch o ganol Babilon, ac achub- [c] Pen. 50. 8.
wch bawb ei enaid ei hun: na adêwch Dat. 18. 4.
eich difetha yn ei hanwiredd hi: oblegid
[d] amser dïal *yw* hwn i'r ARGLWYDD; efe a [d] Pen. 50. 15, 28.
dàl y pwyth iddi hi.
7 [e] Phïol aur *oedd* Babilon yn llaw'r [e] Dat. 14. 8. a 17. 4.
ARGLWYDD, yn meddwi pob gwlad: yr
holl genhedloedd a yfasant o'i gwin hi; am
hynny y cenhedloedd a ynfydasant.
8 Yn ddisymmwth [f] y syrthiodd Babi- [f] Esay 21. 9.
lon, ac y drylliwyd hi: udwch drosti, [g] cym- Dat. 14. 8. a 18. 2.
merwch driagl i'w dolur hi, i edrych a iachâ
hi. [g] Pen. 46. 11.
9 Nyni a iachasom Babilon, ond nid aeth
hi'n iach; gadêwch hi, ac [h] awn bawb i'w [h] Esay 13. 14.
wlad: canys ei barn a gyrraedd i'r nefoedd, Pen. 50. 16.
ac a ddyrchafwyd hyd yr wybrau.
10 Yr ARGLWYDD a ddug allan ein cyf-
iawnder ni: deuwch a [i] thraethwn yn Sïon [i] Pen. 50. 28.
waith yr ARGLWYDD ein DUW.

k Pen. 46. 11 [k] † Gloywch y saethau; cesglwch y
4. tariannau: [l] yr ARGLWYDD a gyfododd
† Heb. ysbryd brenhinoedd Media: oblegid *y mae*
*Glanhewch.* ei fwriad ef yn erbyn Babilon, i'w diny-
l Esay 13. strio hi; canys [m] dïal yr ARGLWYDD *yw*
17. hyn, dïal ei deml ef.
m Pen. 50. 12 [n] Dyrchefwch faner ar furiau Babilon;
28. cadarnhewch y wyliadwriaeth; gosodwch i
n Nah. 2. 1. fynu y gwylwŷr; darperwch y cynllwyn-
a 3. 14. wŷr: canys yr ARGLWYDD a fwriadodd, ac
efe a wnaeth hefyd yr hyn a lefarodd yn
erbyn trigolion Babilon.
13 Tydi yr hon ydwyt yn aros ar ddyfr-
oedd lawer, yn aml dy drysorau, dy ddi-
wedd di a ddaeth, *sef* mesur dy gybydd-dod.
o Amos 6. 14 [o] ARGLWYDD y lluoedd a dyngodd
8. ‡ iddo ei hun, *gan ddywedyd*, Dïau y'th
‡ Heb. lanwaf â dynion megis â lindys; a hwy a
*i'w enaid ei hun.* § ganant floddest i'th erbyn.
§ Neu, 15 [p] Efe a wnaeth y ddaear trwy ei nerth,
*ddatcanant.* *ac* a sicrhaodd y byd trwy ei ddoethineb, ac
[q] a daenodd y nefoedd trwy ei ddeall.
p Gen. 1. 16 Pan roddo efe *ei* lef, *y mae* ‖ twrf
1, 6. dyfroedd yn y nefoedd, ac [r] y mae efe yn
Pen. 10. codi'r niwloedd o eithaf y ddaear: ac efe
12–16.
q Job 9. 8. sydd yn gwneuthur y mellt gyd â'r gwlaw,
Psal. 104. 2. ac yn dwyn y gwŷnt allan o'i drysorau.
Esay 40. 22. 17 Ynfyd yw pob dyn o wybodaeth;
‖ Neu, gwaradwyddwyd pob toddydd gan y ddelw
*lliaws.* gerfiedig: canys celwyddog *yw* ei ddelw
r Psal. 135. dawdd, ac nid *oes* chwŷthad ynddynt.
7. 18 Oferedd *ydynt*, gwaith cyfeiliorni: yn
amser eu hymweliad y difethir hwynt.
19 Nid fel y rhai hyn, eithr Lluniwr y
cwbl oll, *yw* rhan Jacob; ac *Israel yw* gwi-
alen ei etifeddiaeth ef. ARGLWYDD y llu-
oedd *yw* ei enw ef.
s Esay 10. 20 [s] Ti *wyt* forthwyl i mi, *ac* arfau rhy-
5, 15. fel: canys â thi y drylliaf y cenhedloedd, ac
Pen. 50. 23. â thi y dinystriaf deyrnasoedd;
21 A thi hefyd y gwasgaraf y march a'r
marchwr; ac â thi y drylliaf y cerbyd a'i
farchog;
22 A thi y drylliaf fi wr a gwraig; ac â
thi y drylliaf hen ac ieuangc; ac â thi y
drylliaf y gwr ieuangc a'r forwyn;
23 A thi hefyd y drylliaf fi'r bugail a'i
braidd; ac â thi y drylliaf yr arddwr a'i iau
ychen; ac â thi y drylliaf y tywysogion a'r
pennaethiaid.
24 A mi a dalaf i Babilon, ac i holl bre-
swylwŷr Caldea, eu holl ddrwg a wnaeth-
ant yn Sïon, yn eich golwg chwi, medd yr
ARGLWYDD.
25 Wele fi i'th erbyn di, O fynydd di-
nystriol, yr hwn *wyt* yn dinystrio'r holl
ddaear, medd yr ARGLWYDD; a myfi a
estynaf fy llaw arnat, ac a'th dreiglaf di i
lawr o'r creigiau, ac a'th wnaf di yn fynydd
llosg.
26 Ac ni chymmerant o honot faen congl,
na sylfaen; ond diffaethwch tragywyddol a
fyddi di, medd yr ARGLWYDD.
27 Dyrchefwch faner yn y tir; lleisiwch
udgorn ym mysg y cenhedloedd; darperwch
y cenhedloedd yn ei herbyn hi; gelwch
ynghyd deyrnasoedd Ararat, Minni, ac As-
chenaz, yn ei herbyn hi; gosodwch dywysog
yn ei herbyn hi; gwnewch i feirch ddyfod
i fynu cyn amled a'r lindys blewog.
28 Darperwch y cenhedloedd yn ei her-
byn hi, gyd â brenhinoedd Media, a'i thy-
wysogion, a'i holl bennaethiaid, a holl wlad
ei lywodraeth ef.
29 Y ddaear hefyd a gryna ac a ofid-
ia: oblegid fe gyflawnir bwriadau'r AR-
GLWYDD yn erbyn Babilon, i wneuthur
gwlad Babilon yn anghyfannedd heb drig-
iannol *ynddi*.
30 Cedyrn Babilon a beidiasant ag ym-
ladd, *ac* y maent hwy yn aros o fewn *eu*
hamddiffynfeydd: pallodd eu nerth hwynt;
[t] aethant yn wrageddos: ei hanneddau hi a t Esay 19.
losgwyd, a'i barrau a dorrwyd. 16.
31 Rhedegwr a red i gyfarfod â rhedeg- Pen. 50. 37.
wr, a chennad i gyfarfod â chennad, i fy-
negi i frenhin Babilon oresgyn ei ddinas ef
o'*i* chwrr,
32 Ac ynnill [u] y rhydau, a llosgi o honynt u Pen. 50.
y cyrs â thân, a synnu ar y rhyfelwŷr. 38.
33 Canys fel hyn y dywed ARGLWYDD
y lluoedd, Duw Israel; Merch Babilon
[x] *sydd* fel llawr-dyrnu; † amser ei dyrnu x Esay 21.
hi *a ddaeth*: ac ar fyrder y daw amser cyn- 10.
hauaf iddi. † Neu, *yr amser*
34 Nebuchodonosor brenhin Babilon a'm *y dyrna*
hysodd, *ac* a'm hysigodd i; efe a'm gwnaeth *efe hi.*
fel llestr gwag; efe a'm llyngcodd fel draig,
ac a lanwodd ei fol o'm danteithion; efe
a'm bwriodd i allan.
35 ‡ Y cam a wnaed i mi ac i'm § cnawd ‡ Heb. *Fy*
*a ddelo* ar Babilon, medd preswylferch Sïon; *nhrais i.*
a'm gwaed i ar drigolion Caldea, medd Je- § Neu,
rusalem. *gweddill.*
36 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD; Wele, myfi a ddadleuaf dy
ddadl di, ac a ddïalaf drosot ti; a [y] mi a y Pen. 50.
ddyhysbyddaf ei môr hi, ac a sychaf ei ffyn- 38.
honnau hi.
37 A bydd Babilon yn garneddau, [z] yn z Esay 13.
drigfa dreigiau, yn syndra, ac yn chwiban- 22.
iad, heb breswylydd. Pen. 50. 39.
38 Cyd-ruant fel llewod; ‖ bloeddiant fel ‖ Neu,
cenawon llewod. *ymysgydwant.*
39 Yn eu gwres hwynt y gosodaf wledd-
oedd iddynt, a [a] mi a'u meddwaf hwynt, a Adn. 57.
fel y llawenychont, ac y cysgont hûn dra-
gywyddol, ac na ddeffrônt, medd yr AR-
GLWYDD.
40 Myfi a'u dygaf hwynt i wared fel ŵyn
i'r lladdfa, fel hyrddod a bychod.
41 Pa fodd y goresgynwyd [b] Sesach! pa b Pen. 25.
fodd yr ynnillwyd gogoniant yr holl ddae- 26.
ar! pa fodd yr aeth Babilon yn syndod ym
mysg y cenhedloedd!
42 Y môr a ddaeth i fynu ar Babilon:
hi a orchuddiwyd ag amlder ei donnau ef.
43 Ei dinasoedd hi a aethant yn anghyf-
annedd, yn grasdir, ac yn ddiffaethwch;
gwlad ni thrig un gwr ynddi, ac ni thram-
wya mab dyn trwyddi.
44 A mi a ymwelaf â Bèl yn Babilon, a
mi a dynnaf o'i safn ef yr hyn a lyngcodd;
a'r cenhedloedd ni ddylifant atto mwyach;
ïe, mur Babilon a syrth.
45 [c] Deuwch allan o'i chanol, O fy mhobl, c Pen. 50.
ac achubwch bob un ei enaid rhag llid dig- 8.
ofaint yr ARGLWYDD, Adn. 6.
Dat. 18. 4.
46 A rhag llwfrhâu eich calonnau, ac ofni
rhag y chwedl a glywir yn y wlad: a'r *naill*
flwyddyn y daw chwedl newydd, ac ar ol
hynny chwedl newydd y flwyddyn *arall*;
a thrais yn y wlad, llywodraethwr yn erbyn
llywodraethwr.
47 Am hynny wele'r dyddiau'n dyfod
yr ymwelwyf â delwau Babilon; a'i holl
wlad hi a waradwyddir, a'i holl rai lladd-
edig hi a syrthiant yn ei chanol.
48 Yna'r [d] nefoedd a'r ddaear, a'r hyn oll d Esay 44.
*sydd* ynddynt, a ganant o herwydd Babilon: 23. a 49.
oblegid o'r gogledd y daw yr anrheithwŷr 13.
atti, medd yr ARGLWYDD. Dat. 18. 20.

49 † Fel *y gwnaeth* Babilon i'r rhai lladdedig o Israel syrthio, felly yn Babilon y syrth lladdedigion yr holl ‡ ddaear.

† Neu, *Babilon a wnaeth i syrthio, chwi lladdedigion Israel; a chwi a Babilon y syrth, &c.*
‡ Neu, *wlad.*

50 Y rhai a ddiangasoch gan y cleddyf, ewch ymaith; na sefwch: cofiwch yr ARGLWYDD o bell, a deued Jerusalem yn eich cof chwi.

51 Gwaradwyddwyd ni, am i ni glywed cabledd: gwarth a orchuddiodd ein hwynebau; canys daeth estroniaid i gyssegroedd tŷ'r ARGLWYDD.

52 Am hynny wele'r dyddiau'n dyfod, medd yr ARGLWYDD, pan ymwelwyf fi â'i delwau hi; a thrwy ei holl wlad hi yr archolledig a riddfan.

53 [e] Er i Babilon ddyrchafu i'r nefoedd, ac er iddi gadarnhâu ei hymddiffynfa yn uchel; *etto* anrheithwŷr a ddaw atti oddi wrthyf fi, medd yr ARGLWYDD.

[e] Obad. 4.

54 Sain gwaedd *a glywir* o Babilon, a dinystr mawr o wlad y Caldeaid.

55 O herwydd yr ARGLWYDD a anrheithiodd Babilon, ac a ddinystriodd y mawrair allan o honi hi, er rhuo o'i thonnau fel dyfroedd lawer, *a* rhoddi twrf eu llef hwynt.

56 Canys yr anrheithiwr a ddaeth yn ei herbyn hi, *sef* yn erbyn Babilon, a'i chedyrn hi a ddaliwyd; eu bwa a dorrwyd: canys ARGLWYDD DDUW'r gwobr a obrwya'n sicr.

57 A [f] mysi a feddwaf ei thywysogion hi, a'i doethion, ei phennaethiaid, a'i swyddogion, a'i chedyrn: a hwy a gysgant hûn dragywyddol, ac ni ddeffroant, medd y Brenhin, enw'r hwn *yw* ARGLWYDD y lluoedd.

[f] Adn. 39.

58 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd; Gan § ddryllio y dryllir ‖ llydain furiau Babilon, a'i huchel byrth a losgir â thân; [g] a'r bobl a ymboenant mewn ofered, a'r cenhedloedd mewn tân, a hwy a ddiffygiant.

§ Neu, *ddynoethi y dynoethir.*
‖ Neu, *muriau Babilon lydan.*
[g] Hab. 2. 13.

59 ¶ Y gair yr hwn a orchymynodd Jeremi y prophwyd i Seraiah fab Neriah, fab Maaseiah, pan oedd efe yn myned † gyd â Sedeciah brenhin Judah i Babilon, yn y bedwaredd flwyddyn o'i deyrnasiad ef. A Seraïah *oedd* ‡ dywysog llonydd.

† *ym mhlaid Sedeciah.*
‡ Neu, *dywysog Menuchah, neu ben ystafellydd.*

60 Felly Jeremi a 'sgrifenodd yr holl aflwydd oedd ar ddyfod yn erbyn Babilon, mewn un llyfr; *sef* yr holl eiriau a 'sgrifenwyd yn erbyn Babilon.

61 A Jeremi a ddywedodd wrth Seraiah, Pan ddelych i Babilon, a gweled, a darllain yr holl eiriau hyn;

62 Yna dywed, O ARGLWYDD, ti a leferaist yn erbyn y lle hwn, am ei ddinystrio, fel na byddai ynddo breswylydd, na dyn nac anifail, eithr ei fod yn § anghyfannedd tragywyddol

§ Heb. *anghyfanneddau.*

63 A phan ddarfyddo i ti ddarllain y llyfr hwn, rhwym [h] faen wrtho, a bwrw ef i ganol Euphrates:

[h] Edrych Dat. 18. 21.

64 A dywed, Fel hyn y soddir Babilon, ac ni chyfyd hi, gan y drwg a ddygaf fi arni: a hwy a ddiffygiant. Hyd hyn *y mae* geiriau Jeremi.

## PEN. LII.

Awst 12. B. 1 *Sedeciah yn gwrthryfela.* 4 *Amgylchynu Jerusalem, a'i gorchfygu.* 8 *Lladd meibion Sedeciah, a thynnu ei lygaid yntau.* 12 *Nebuzaradan yn llosgi ac yn anrheithio'r ddinas;* 24 *yn dwyn caethion ymaith.* 31 *Efilmerodach yn dyrchafu Jehoiacim.*

MAB [a] un mlwydd ar hugain *oedd* Sedeciah pan † ddechreuodd efe deyrnasu; ac un mlynedd ar ddeg y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac enw ei fam ef *oedd* Hamutal, merch Jeremi o Libnah. 599.

[a] 2 Bren. 24. 18.
† Heb. *deyrnasodd.*

2 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd* ddrwg yngolwg yr ARGLWYDD, yn ol yr hyn oll a wnaethai Jehoiacim.

3 O herwydd *gan* ddigofaint yr ARGLWYDD y bu yn Jerusalem ac yn Judah, hyd oni fwriodd efe hwynt allan o'i olwg, wrthryfela o Sedeciah yn erbyn brenhin Babilon. 594.

4 ¶ Ac yn [b] y nawfed flwyddyn o'i deyrnasiad ef, yn y degfed mis, ar y degfed *dydd* o'r mis, y daeth Nebuchodonosor brenhin Babilon, efe a'i holl lu, yn erbyn Jerusalem, ac a wersyllasant yn ei herbyn hi, ac a adeiladasant gyferbyn â hi ymddiffynfa o amgylch ogylch. 590.

[b] 2 Bren. 25. 1. Pen. 39. 1.

5 Felly y ddinas a fu yngwarchae hyd yr unfed flwyddyn ar ddeg i'r brenhin Sedeciah.

6 Yn y pedwerydd mis, yn y nawfed *dydd* o'r mis, y newyn a drymhaodd yn y ddinas, fel nad oedd bara i bobl y wlad. 588.

7 Yna y torrwyd y ddinas; a'r holl ryfelwŷr a ffoisant, ac a aethant allan o'r ddinas liw nos, ar hŷd ffordd y porth rhwng y ddau fur, yr hwn *oedd* wrth ardd y brenhin (a'r Caldeaid *oedd* wrth y ddinas o amgylch) a hwy a aethant ar hŷd ffordd y rhos.

8 ¶ Ond llu'r Caldeaid a ymlidiasant ar ol y brenhin, ac a oddiweddasant Sedeciah yn rhosydd Jericho, a'i holl lu ef a wasgarwyd oddi wrtho.

9 Yna hwy a ddaliasant y brenhin, ac a'i dygasant ef at frenhin Babilon i Riblah, yngwlad Hamath; ac efe a roddodd farn arno ef.

10 A brenhin Babilon a laddodd feibion Sedeciah yngŵydd ei lygaid ef: efe a laddodd hefyd holl dywysogion Judah yn Riblah.

11 Yna efe a ‡ dynnodd lygaid Sedeciah, ac a'i rhwymodd ef â § chadwyni; a brenhin Babilon a'i harweiniodd ef i Babilon, ac a'i rhoddodd ef mewn carchardy hyd ddydd ei farwolaeth.

‡ Heb. *ddallodd.*
§ Neu, *gefynnau.*

12 ¶ Ac yn y pummed mis, ar y degfed *dydd* o'r mis ([c] hon *oedd* y bedwaredd flwyddyn ar bymtheg i'r brenhin Nebuchodonosor brenhin Babilon) y daeth Nebuzaradan ‖ pennaeth y milwŷr (*yr hwn* a safai ger bron brenhin Babilon) i Jerusalem;

[c] Edrych adn. 29.
‖ Heb. *y penlleiddiaid.* Felly adn. 14, &c.

13 Ac efe a losgodd dŷ'r ARGLWYDD, a thŷ'r brenhin; a holl dai Jerusalem, a phob tŷ mawr, a losgodd efe â thân.

14 A holl lu'r Caldeaid y rhai *oedd* gyd â phennaeth y milwŷr, a ddrylliasant holl furiau Jerusalem o amgylch.

15 Yna Nebuzaradan pennaeth y milwŷr a gaeth-gludodd *rai* o'r bobl wael, a'r gweddill o'r bobl a adawsid yn y ddinas, a'r ffoaduriaid a giliasent at frenhin Babilon, a'r gweddill o'r bobl.

16 Ond Nebuzaradan pennaeth y milwŷr a adawodd *rai* o dlodion y wlad yn winllanwŷr ac yn arddwŷr.

17 [d] A'r Caldeaid a ddrylliasant [e] y colofnau pres y rhai *oedd* yn nhŷ'r ARGLWYDD, a'r ystolion, a'r môr pres yr hwn *oedd* yn nhŷ'r ARGLWYDD; a hwy a ddygasant eu holl bres hwynt i Babilon.

[d] Pen. 27. 19.
[e] Edrych 1 Bren. 7. 15, 23, 27, 50.

f Exod. 27. 18 A hwy a ddygasant ymaith [f] y cro-
3. chanau, a'r rhawiau, a'r psaltringau, a'r
cawgiau, a'r thusserau, a'r holl lestri pres, y
rhai yr oeddid yn gwasanaethu â hwynt.
19 A'r phiolau, a'r pedyll tân, a'r cawg-
iau, a'r crochanau, a'r canhwyllbrennau, a'r
thusserau, a'r cwppanau, y rhai *oedd* o aur
*yn* aur, a'r rhai *oedd* o arian *yn* arian, a
gymmerodd pennaeth y milwŷr ymaith.
20 Y ddwy golofn, un môr, a deuddeg o
g 1 Bren. ychen pres, y rhai *oedd* dan yr ystolion, y
7. 47. rhai a wnaethai'r brenhin Salomon, yn nhŷ'r
† Heb. ARGLWYDD: [g] nid oedd pwys † ar bres yr
*ar eu pres* holl lestri hyn.
*hwy yr* 21 Ac *am* [h] y colofnau, deunaw cufydd
*holl lestri* *oedd* uchder un golofn, ‡ a llinyn o ddeuddeg
*hyn.* cufydd oedd yn ei hamgylchu: a'i thewdwr
h 1 Bren. yn bedair modfedd; *ac* yn gau *yr oedd.*
7. 15. 22 A chnap pres *oedd* arni, a phum cu-
2 Bren. 25. fydd *oedd* uchder un cnap; a rhwydwaith
17. a phomgranadau ar y cnap o amgylch, yn
2 Chron. 3. bres i gyd: ac fel hyn *yr oedd* yr ail golofn
15. a'i phomgranadau.
‡ Heb. 23 A'r pomgranadau oeddynt, onid ped-
*ac edau.* war, cant ar ystlys: [i] yr holl bomgranadau
i Edrych ar y rhwydwaith o amgylch *oedd* gant.
1 Bren. 7. 24 ¶ A [k] phennaeth y milwŷr a gym-
20. merodd Seraiah'r arch-offeiriad, a Sepha-
k 2 Bren. nïah'r ail offeiriad, a'r tri oedd yn cadw'r
25. 18. § drws.
§ Heb. 25 Ac efe a gymmerodd o'r ddinas ysta-
*rhiniog.* fellydd, yr hwn oedd swyddog ar y rhyfel-
‖ Heb. wŷr; a seith-wŷr ‖ o weision pennaf y bren-
*o'r rhai oedd yn gweled wyneb y brenhin.* hin, y rhai a gafwyd yn y ddinas; † a phen-
† Neu, ysgrifenydd y llu, yr hwn a fyddai'n bydd-
*ac ysgrifenydd pennaeth y llu.* ino pobl y wlad; a thri ugeinwr o bobl y
wlad, y rhai a gafwyd ynghanol y ddinas.

26 A Nebuzaradan pennaeth y milwŷr a
gymmerodd y rhai hyn, ac a aeth â hwynt
i Riblah, at frenhin Babilon.
27 A brenhin Babilon a'u tarawodd hwynt,
ac a'u lladdodd hwynt yn Riblah, yngwlad
Hamath. Fel hyn y caeth-gludwyd Judah
o'i wlad ei hun.
28 Dyma'r bobl a gaeth-gludodd Nebu- 600.
chodonosor yn [l] y seithfed flwyddyn, [m] tair l Edrych
mil a thri ar hugain o Iuddewon. 2 Bren. 24. 12.
29 Yn y ddeunawfed flwyddyn i Nebucho- 590.
donosor efe a gaeth-gludodd o Jerusalem m Edrych
wyth gant a deuddeg ar hugain o ‡ ddynion. 2 Bren. 24. 14.
30 Yn [n] y drydedd flwyddyn ar hugain i 585.
Nebuchodonosor, Nebuzaradan pennaeth y ‡ Heb.
milwŷr a gaeth-gludodd saith gant a phump *eneidiau.*
a deugain o Iuddewon: yr holl ddynion hyn n Edrych
*oedd* bedair mil a chwe chant. adn. 12.
31 ¶ [o] Ac yn y ddwyfed flwyddyn ar 562.
bymtheg ar hugain wedi caeth-gludo Je- o 2 Bren.
hoiacim frenhin Judah, yn y deuddegfed 25. 27
mis, ar y pummed *dydd* ar hugain o'r mis,
Efil-merodach brenhin Babilon (yn y flwydd-
yn *gyntaf* o'i deyrnasiad) [p] a ddyrchafodd p Gen. 40.
ben Jehoiacim brenhin Judah, ac a'i dug ef 13, 20.
allan o'r carchardy,
32 Ac a § ddywedodd yn dêg wrtho, ac § Heb.
a osododd ei frenhin-faingc ef uwch law *ymddiddanodd*
gorsedd-feingciau'r brenhinoedd, y rhai *oedd* *ag ef beth-*
gyd ag ef yn Babilon. *au da.*
33 Ac efe a newidiodd ei garchar-wisg ef:
ac efe a fwyttaodd fara ger ei fron ef yn
wastad, holl ddyddiau ei einioes.
34 Ac *am* ei luniaeth ef, lluniaeth gwas-
tadol a roddwyd iddo gan frenhin Babilon,
dogn dydd yn ei ddydd hyd ddydd ei farw-
olaeth, holl ddyddiau ei einioes.

# ¶ GALARNAD JEREMI.

## PEN. I.

Awst 12. P. 1 *Gofidus gyflwr Jerusalem o herwydd ei*
*phechodau,* 12 *a hithau'n cwyno rhag ei*
*gofid,* 18 *ac yn cyfaddef bod barnedigaeth-*
*au Duw yn gyfiawn.*

Cyn PA fodd y mae'r ddinas aml *ei* phobl yn
Crist eistedd ei hunan! *pa fodd* y mae'r
cylch liosog ym mhlith y cenhedloedd megis yn
588. weddw! *pa fodd* y mae tywysoges y ta-
leithiau dan deyrnged!
a Jer. 13. 2 Y mae hi [a] yn wylo'n hidl [b] liw nos,
17. ac *y mae* ei dagrau ar ei gruddiau, [c] heb *neb*
b Job 7. 3. [d] o'i holl gariadau yn ei chysuro: ei holl
Psal. 6. 6. gyfeillion a fuant anghywir iddi, *ac* a aeth-
c Adn. 9. ant yn elynion iddi.
16, 17, 21. 3 Judah a fudodd ymaith gan flinder, a
d Jer. 4. 30. chan faint caethiwed; y mae hi'n aros ym
a 30. 14. mysg y cenhedloedd, heb gael gorphwys-
Adn. 19. dra: ei holl erlidwŷr a'i goddiweddasant hi
mewn lleoedd cyfyng.
4 Y mae ffyrdd Sion yn galaru, o eisiau
rhai yn dyfod i'r wyl arbennig: ei holl
byrth hi *sydd* anghyfannedd, ei hoffeiriaid
yn ucheneidio, ei morwynion yn ofidus, a
† Heb. hithau yn † flin arni.
*chwerw.* 5 Ei gwrthwynebwŷr [e] ydynt bennaf, y
e Deut. 28. mae ei gelynion yn ffynnu: canys yr AR-
13, 44. GLWYDD a'i gofidiodd hi am amlder ei
f Jer. 52. chamweddau; ei [f] phlant a aethant i gaeth-
28. iwed o flaen y gelyn.
6 A holl harddwch merch Sïon a yma-
dawodd â hi; y mae ei thywysogion hi fel
hyddod heb gael porfa, ac yn myned yn
ddinerth o flaen yr ymlidiwr.

7 Y mae Jerusalem, yn nyddiau ei blin-
der a'i chaledi, yn cofio ei holl ‡ hyfryd- ‡ Neu,
wch oedd *iddi* yn y dyddiau gynt, pan *bethau*
syrthiodd ei phobl hi yn llaw'r gelyn, heb *dymunol.*
*neb* yn ei chynnorthwyo hi: y gelynion a'i
gwelsant *hi, ac* a chwarddasant am ben ei
sabbothau. § Heb.
8 Jerusalem a bechodd bechod; am *yr aeth yn*
hynny § y symmudwyd hi: yr holl rai a'i *symmudiad,* neu,
hanrhydeddent sy'n ei dïystyru hi, o her- *yn grwydr.*
wydd [g] iddynt weled ei noethni hi: ïe, g Jer. 13.
y mae hi yn ucheneidio, ac yn troi yn ei 26.
hol. Ezec. 16. 37. a 23. 29.
9 Ei haflendid *sydd* yn ei godre, [h] nid Hos. 2. 10.
yw hi yn meddwl am ei diwedd; am hyn- h Deut. 32.
ny y syrthiodd hi yn rhyfedd, [i] heb *neb* yn 29.
ei chysuro: edrych, ARGLWYDD, ar fy i Adn. 2,
mlinder; canys *ym*fawrygodd y gelyn. 17, 21.
10 Y gwrthwynebwr a estynodd ei law ‖ Neu,
ar ei holl ‖ hoff-bethau hi: hi a welodd y *ddymunol,* neu, *hy-*
cenhedloedd yn dyfod i mewn i'w chyssegr, *fryd.*
i'r rhai y gorchymynasit ti [k] na ddelent k Deut. 23.
i'th gynnulleidfa. 3. Neh. 13. 1.
11 Y mae ei holl bobl hi yn ucheneidio, l Jer. 52. 6.
[l] yn ceisio bwyd: hwy a roddasant eu † Heb. *ddy-*
hoff-bethau am fwyd i † ddadebru'r enaid: *chwelyd.*
edrych, ARGLWYDD, a gwel; canys dir- ‡ Neu,
mygus ydwyf fi. *Nid*
12 ¶ ‡ Onid gwaeth gennych chwi, § y *gwaeth.*
fforddolion oll? gwelwch ac edrychwch, § Heb.
[m] a oes y fath ofid a'm gofid i, yr hwn a *y rhai a*
wnaethpwyd i mi, â'r hwn y gofidiodd yr *drammwych y ffordd?*
ARGLWYDD *fi* yn nydd an-gerdd ei m Dan. 9.
ddigter. 12.

13 O'r uchelder yr anfonodd efe dân i'm hesgyrn i, yr hwn a aeth yn drech nâ hwynt: efe a ledodd rwyd o flaen fy nhraed, ac a'm dychwelodd yn *fy* ol; efe a'm gwnaeth yn anrheithiedig, *ac* yn ofidus ar hŷd y dydd.

14 Rhwymwyd iau fy nghamweddau â'i law ef: hwy a blethwyd, *ac* a ddaethant i fynu am fy ngwddf: efe a wnaeth i'm nerth syrthio; yr ARGLWYDD a'm rhoddodd mewn dwylaw, *oddi tan y rhai* ni allaf gyfodi.

15 Yr ARGLWYDD a fathrodd fy holl rai grymmus o'm mewn; efe a gyhoeddodd i'm herbyn gymmanfa, i ddifetha fy ngwŷr ieuaingc: † *fel* gwinwryf [n] y sathrodd yr ARGLWYDD y forwyn, merch Judah.

† Neu, *sathrodd yr Arg. winwryf y forwyn.* [n] Esay 63. 3.

16 Am hyn yr ydwyf yn wylo; [o] y mae fy llygad, fy llygad yn rhedeg gan ddwfr, o herwydd pellhau oddi wrthyf ddiddanwr a ‡ ddadebrai fy enaid: fy meibion sydd anrheithiedig, am i 'r gelyn orchfygu.

[o] Jer. 13. 17. a 14. 17. Pen. 2. 18. ‡ Heb. *ddychwelai.*

17 [p] Sïon a ledodd ei dwylaw, heb neb yn ei diddanu: yr ARGLWYDD a orchymynodd am Jacob, *fod* ei elynion yn ei gylch: Jerusalem sydd fel gwraig fisglwyfus yn eu mysg hwynt.

[p] Jer. 4. 31.

18 ¶ [q] Cyfiawn yw'r ARGLWYDD; oblegid myfi [r] a fum anufudd i'w § air ef: gwrandewch, attolwg, bobloedd oll, a gwelwch fy ngofid: fy morwynion a'm gwŷr ieuaingc a aethant i gaethiwed.

[q] Dan. 9. 7. [r] 1 Sam. 12. 14, 15. § Neu, *orchymyn.* Heb. *enau.*

19 Gelwais am fy nghariadau, *a* [s] hwy a'm twyllasant; fy offeiriaid a'm henafgwŷr a drengasant yn y ddinas, tra oeddynt yn ceisio iddynt fwyd i ddadebru eu henaid.

[s] Jer. 30. 14. Adn. 2.

20 Gwel, O ARGLWYDD; canys y mae yn gyfyng arnaf: [t] fy ymysgaroedd a gyffroisant, fy nghalon a drodd ynof; o herwydd fy mod yn rhŷ anufudd: [u] y mae 'r cleddyf yn difetha oddi allan, megis marwolaeth *sy* gartref.

[t] Esay 16. 11. Jer. 48. 36. Pen. 2. 11. Hos. 11. 8. [u] Deut. 32. 25. Ezec. 7. 15.

21 Clywsant fy mod i yn ucheneidio: nid *oes* a'm diddano: fy holl elynion, *pan* glywsant fy nrygfyd, a lawenychasant am i ti wneuthur *hynny: ond* ti a ddygi i ben [x] y dydd a gyhoeddaist, a hwy a fyddant fel finnau.

[x] Esay 13, &c. Jer. 46, &c.

22 Deued eu holl ddrygioni hwynt o'th flaen di; a gwna iddynt hwy fel y gwnaethost i minnau, am fy holl gamweddau: oblegid *y mae* fy ucheneidiau yn aml, [y] a'm calon yn ofidus.

[y] Pen. 5. 17.

## PEN. II.

1 *Jeremi yn galaru am ofid Jerusalem:* 20 *ac yn cwyno wrth Dduw faint oedd.*

Awst 13. B. Sul 16 ar ol y Drindod, B. Cylch 588.

PA fodd y dug yr ARGLWYDD gwmmwl ar ferch Sïon yn ei sorriant, *ac* y bwriodd degwch Israel i lawr o'r nefoedd, ac na chofiodd [a] leithig ei draed yn nydd ei ddigofaint!

[a] 1 Chron. 28. 2. Psal. 99. 5. a 132. 7.

2 Yr Arglwydd a lyngcodd, [b] heb arbed, holl anneddau Jacob; efe a ddifrododd yn ei ddigter amddiffynfeydd merch Judah; efe † a'u tynnodd *hwynt* i lawr, *ac* a ddifwynodd y deyrnas a'i thywysogion.

[b] Adn. 17, 21. Pen. 3. 43. † Heb. *a wnaeth iddynt gyffwrdd â'r llawr.*

3 Mewn sorriant digllon y torrodd efe holl gorn Israel: efe a dynnodd *ei* ddeheulaw yn *ei* hol oddi wrth y gelyn: ac yn erbyn Jacob y cynneuodd megis fflam danllyd, *yr hon* a ddifa o amgylch.

4 Efe a annelodd ei fwa fel gelyn; safodd â'i ddeheulaw fel gwrthwynebwr, ac a laddodd bob dim hyfryd i'r golwg, ym mhabell merch Sïon: fel tân y tywalltodd efe ei ddigofaint.

5 Yr Arglwydd sydd megis gelyn: efe a lyngcodd Israel, efe a lyngcodd ei holl balasau hi: efe a ddifwynodd ei hymddiffynfeydd, ac a wnaeth gwynfan a galar yn aml ym merch Judah.

6 Efe [c] a anrheithiodd ‡ ei babell [d] fel gardd; efe a ddinystriodd leoedd ei gymmanfa: yr ARGLWYDD a wnaeth anghofio yn Sïon yr uchelwyl a'r sabboth, ac yn llidiowgrwydd ei sorriant y dirmygodd efe'r brenhin a'r offeiriad.

[c] Psal. 80. 12. a 89. 40. Esay 5. 5. ‡ Neu, *ei gae.* [d] Esay 1. 8.

7 Yr Arglwydd a wrthododd ei allor; a ffieiddiodd ei gyssegr; § rhoddodd gaerau ei phalasau hi yn llaw 'r gelyn: [e] rhoddasant floedd yn nhŷ 'r ARGLWYDD, megis ar ddydd uchelwyl.

§ Heb. *cauodd.* [e] Psal. 74. 4.

8 Yr ARGLWYDD a fwriadodd ddifwyno mur merch Sïon; [f] efe a estynodd linyn, ac nid attaliodd ei law rhag ‖ difetha: am hynny y gwnaeth efe i'r rhagfur ac i'r mur alaru; cyd-lesgasant.

[f] 2 Bren. 21. 13. Esay 34. 11. ‖ Heb. *llyngcu.*

9 Ei phyrth a soddasant i'r ddaear; efe a ddifethodd ac a ddrylliodd ei barrau hi: [g] ei brenhin a'i thywysogion *ydynt* ym mysg y cenhedloedd: heb gyfraith *y mae;* [h] a'i phrophwydi heb gael gweledigaeth gan yr ARGLWYDD.

[g] 2 Bren. 24. 15. a 25. 7. [h] Psal. 74. 9. Ezec. 7. 26.

10 Henuriaid merch Sïon a eisteddant ar lawr, a dawant â son; [i] gosodasant lwch ar eu pennau; ymwregysasant â sachlïain: gwŷryfon Jerusalem a ostyngasant eu pennau i lawr.

[i] Job 2. 12.

11 [k] Fy llygaid sy yn pallu gan ddagrau, [l] fy ymysgaroedd a gyffroisant, fy afu a dywalltwyd ar y ddaear; o herwydd dinystr merch fy mhobl, pan lewygodd [m] y plant a'r rhai yn sugno yn heolydd y ddinas.

[k] Pen. 3. 48, &c. [l] Pen. 1. 20. [m] Adn. 19. Pen. 4. 4.

12 Hwy a ddywedant wrth eu mammau, Pa le *y mae* ŷd a gwin? pan lewygent fel yr archolledig yn heolydd y ddinas, pan dywalltent eu heneidiau ym mynwes eu mammau.

13 Pa beth a gymmeraf yn dyst i ti? beth a gyffelybaf i ti, O ferch Jerusalem? beth a gystadlaf â thi, fel y'th ddiddanwyf, O forwyn, merch Sïon? canys *y mae* dy ddinystr yn fawr fel y môr; pwy a'th iachâ di?

14 Dy [n] brophwydi a welsant i ti gelwydd a diflasrwydd; ac ni ddatguddiasant dy anwiredd, i droi ymaith dy gaethiwed: eithr hwy a welsant i ti feichiau celwyddog, ac achosion deol.

[n] Jer. 2. 8. a 5. 31. a 14. 14. a 23. 16. a 27. 14. a 29. 8, 9. Ezec. 13. 2.

15 [o] Y rhai oll a dramwyent y ffordd, [p] a gurent *eu* dwylaw arnat ti; chwibanent, ac ysgydwent eu pennau ar ferch Jerusalem, *gan ddywedyd,* Ai dyma'r ddinas a alwent [q] yn berffeithrwydd tegwch, yn llawenydd yr holl ddaear!

[o] 1 Bren. 9. 8. [p] Ezec. 25. 6. [q] Psal. 48. 2. a 50. 2.

16 [r] Dy holl elynion a ledasant eu safnau arnat ti; a chwibanasant, ac a ysgyrnygasant ddannedd, ac a ddywedasant, Llyngcasom *hi:* yn ddïau dyma'r dydd a ddisgwyliasom ni; ni a'i cawsom, ni a'i gwelsom.

[r] Pen. 3. 46.

17 Yr ARGLWYDD a wnaeth [s] yr hyn a ddychymygodd; ac a gyflawnodd ei air yr hwn a orchymynodd efe er y dyddiau gynt: [t] efe a ddifrododd, ac nid arbedodd; efe a wnaeth i'r gelyn lawenychu yn dy erbyn di; efe a ddyrchafodd gorn dy wrthwynebwŷr di.

[s] Lef. 26. 16, &c. Deut. 28. 15, &c. [t] Adn. 2.

18 Eu calon hwynt a waeddodd ar yr Arglwydd, O fur merch Sïon, tywallt [u] ddagrau ddydd a nos fel afon: na orphwys, ac na pheidied canwyll dy lygad.

[u] Jer. 14. 17. Pen. 1. 16.

19 Cyfod, cyhoedda liw nos; yn nechreu'r wyliadwriaeth [x] tywallt dy galon fel dwfr ger bron yr ARGLWYDD: dyr-

[x] Psal. 62. 8.

chafa dy ddwylaw atto ef am einioes dy
y Adn. 11. blant, y y rhai sydd yn llewygu o newyn ym
mhen pob heol.
20 ¶ Edrych, ARGLWYDD, a gwel i bwy y
z Lef. 26. 29. gwnaethost fel hyn: z a fwytty 'r gwragedd
Deut. 28. 53. eu ffrwyth eu hun, plant † o rychwant o
bŷd? a leddir yr offeiriad a'r prophwyd yn-
Jer. 19. 9. ghyssegr yr ARGLWYDD?
Pen. 4. 10. Ezec. 5. 10. 21 Ieuangc a hen sydd yn gorwedd ar
lawr *yn* yr heolydd: fy morwynion a'm
† Neu, *a drinir â dwylaw?* gwŷr ieuaingc a syrthiasant trwy 'r cleddyf:
a ti a'u lleddaist *hwynt* yn nydd dy sorriant,
a Pen. 3. 43. lleddaist *hwy* heb arbed.
22 Gelwaist megis ar ddydd uchelwyl fy
nychryn o amgylch, fel na ddïangodd ac
na adawyd neb yn nydd sorriant yr AR-
GLWYDD: y gelyn a ddifethodd y rhai a
faethais ac a fegais i.

## PEN. III.

Awst 13. P. 1 *Y ffyddloniaid yn cwynfan am eu gofidiau:* 22 *a thrwy drugareddau Duw, yn cadarnhâu eu gobaith:* 37 *yn cydnabod cyfiawnder Duw:* 55 *yn gweddïo am ymwared iddynt eu hunain,* 64 *a dïal ar eu gelynion.*

Cylch 588. MYFI *yw* 'r gwr a welodd flinder gan
wïalen ei ddigofaint ef.
2 *I* dywyllwch, ac nid *i* oleuni, yr arwein-
iodd ac y tywysodd efe fi.
3 Yn fy erbyn i yn ddïau y trodd efe, *ac*
y mae efe yn troi ei law ar hŷd y dydd.
4 Efe a wnaeth fy nghnawd a'm croen yn
hen; efe a ddrylliodd fy esgyrn.
5 Efe a adeiladodd i'm herbyn, ac a'*m*
hamgylchodd â bustl ac â blinder.
a Psal. 88. 5, 6. 6 a Efe a'm gosododd mewn tywyll le-
oedd, fel y rhai sydd wedi marw er ys talm.
b Job 3. 23. a 19. 8. 7 b Efe a gauodd o'm hamgylch, fel nad
elwyf allan: efe a wnaeth fy llyffethair i yn
drom.
8 Pan lefwyf, a *phan* floeddiwyf, efe a
gau allan fy ngweddi.
9 Efe a gauodd fy ffyrdd â cherrig nadd;
efe a wyrodd fy llwybrau.
c Job 10. 16. 10 c Yr *oedd* efe i mi *fel* arth yn cynllwyn,
Esay 38. 13. *neu* lew mewn llochesau.
Hos. 5. 14. 11 Efe a wyrodd fy ffyrdd, ac a'm dryll-
a 13. 7, 8. iodd; yn anrheithiedig y gwnaeth fi.
d Job 7. 20. 12 Efe a annelodd ei fwa, ac d a'm gosod-
a 16. 12. odd fel nôd i saeth.
† Heb. *feibion.* 13 Efe a wnaeth i † saethau ei gawell
fyned i'm harennau.
e Jer. 20. 7. 14 e Gwatwargerdd oeddwn i'm holl bobl,
f Job 30. 9. *a'u* f cân ar hŷd y dydd.
Psal. 69. 12. 15 Efe a'm llanwodd â chwerwder; *efe*
Adn. 63. a'm meddwodd i â'r wermod.
16 Efe a dorrodd fy nannedd â cherrig,
ac a'm trybaeddodd yn y llwch.
17 A phelleaist fy enaid oddi wrth hedd-
wch; anghofiais ddaioni.
18 A mi a ddywedais, Darfu am fy nerth
a'm gobaith oddi wrth yr ARGLWYDD.
‡ Neu, *Wrth gofio.* 19 ‡ Cofia fy mlinder a'm gofid, y wer-
mod a'r bustl.
§ Neu, *ymostwng.* 20 Fy enaid gan gofio a gofia, ac a § ddar-
ostyngwyd ynof fi.
|| Heb. *ddychwelyd at fy nghalon.* 21 Hyn yr ydwyf yn ei || adgofio; am
hynny y gobeithiaf.
22 ¶ g Trugareddau 'r ARGLWYDD *yw*
na ddarfu am danom ni: o herwydd ni
phalla ei dosturiaethau ef.
g Mal. 3. 6. 23 Bob bore *y deuant* o newydd: mawr
h Psal. 16. 5. a 73. 26. *yw* dy ffyddlondeb.
a 119. 57. 24 Yr ARGLWYDD *yw* fy h rhan i, medd
Jer. 10. 16. fy enaid; am hynny y gobeithiaf ynddo.

25 Daionus *yw* 'r ARGLWYDD i'r rhai a
ddisgwyliant wrtho, *ac* i'r enaid a'i ceisio.
26 Da *yw* gobeithio a disgwyl yn ddistaw
am iachawdwriaeth yr ARGLWYDD.
27 Da *yw* i wr ddwyn *yr* iau yn ei ieu-
engctid.
28 i *Efe* a eistedd ei hunan, ac a dau â i Jer. 15.
son; am iddo *ei* dwyn *hi* arno. 17.
29 Efe a ddyry ei enau yn y llwch, *i edrych*
a oes obaith.
30 k Efe a ddyry *ei* gern i'r hwn a'i ta- k Esay 50. 6.
rawo: efe a lenwir â gwaradwydd. Mat. 5. 39.
31 Oblegid nid yn dragywydd y gwrthyd
yr ARGLWYDD:
32 Ond er iddo gystuddio, etto efe a dost-
uria, yn ol amlder ei drugareddau.
33 Canys l nid o'i † fodd y blina efe, nac l Ezec. 33.
y cystuddia blant dynion. 11.
34 I fathru holl garcharorion y ddaear † Heb.
dan ei draed, *galon.*
35 I wyro barn gwr o flaen wyneb y Go-
ruchaf.
36 Nid yw 'r ARGLWYDD yn gweled *yn*
*dda* wneuthur cam â gwr yn ei fatter.
37 ¶ Pwy m a ddywed y bydd dim, heb m Psal. 33.
i'r ARGLWYDD *ei* orchymyn? 9.
38 Oni ddaw o enau 'r Goruchaf n ddrwg n Job 2. 10. Esay 45. 7.
a da? Amos 3. 6.
39 o Pa ham y ‡ grwgnach dyn byw, gwr o Diar. 19.
am gospedigaeth ei bechod? 3.
40 Ceisiwn a chwiliwn ein ffyrdd, a ‡ Heb.
dychwelwn at yr ARGLWYDD. *cwyna.*
41 Dyrchafwn ein calonnau a'*n* dwylaw
at DDUW yn y nefoedd.
42 Nyni a wnaethom gamwedd, ac a
fuom anufudd; tithau nid arbedaist.
43 Gorchuddiaist *ni* â sorriant, ac erlid-
iaist ni: p lleddaist, nid arbedaist. p Pen. 2. 2,
44 Ti a'th guddiaist dy hun â chwmmwl, 17, 21.
fel na ddeuai *ein* gweddi trwodd.
45 Ti a'n gwnaethost q yn sorod ac yn q 1 Cor. 4.
ysgubion ynghanol y bobl. 13.
46 r Ein holl elynion a ledasant eu safnau r Pen. 2. 16.
yn ein herbyn.
47 s Dychryn a magl a ddaeth arnom, s Esay 24.
anrhaith a dinystr. 17.
48 t Fy llygad a ddiferodd ffrydiau o Jer. 48. 43.
ddwfr, o herwydd dinystr merch fy mhobl. t Jer. 4. 19.
49 Fy llygad a ddiferodd, ac ni pheidiodd, a 9. 1. a 14. 17.
am nad oes gorphwysdra: Pen. 2. 11.
50 Hyd oni edrycho, ac *oni* ystyrio 'r
ARGLWYDD o'r nefoedd.
51 Y mae fy llygad yn blino fy enaid,
§ o herwydd holl ferched fy ninas. § Neu,
52 Fy ngelynion gan hela a'm heliasant *yn fwy na.*
u yn ddïachos, fel aderyn. u Psal. 35.
53 Torrasant ymaith fy einioes yn y pwll, 7, 19. a 69. 4. a 109. 3.
a bwriasant gerrig arnaf. a 119. 161.
54 x Y dyfroedd a lifasant dros fy mhen; x Psal. 69.
y dywedais, Torrwyd fi ymaith. 2. a 124. 4,
55 ¶ z Gelwais ar dy enw di, O AR- 5.
GLWYDD, o'r pwll isaf. y Psal. 31. 22.
56 Ti a glywaist fy llef: na chudd dy glust Esay 38. 10,
rhag fy uchenaid a'm gwaedd. 11.
57 Ti a ddaethost yn nês y dydd y gelwais z Psal. 130.
arnat: dywedaist, Nac ofna. 1.
58 Ti, O ARGLWYDD, a ddadleuaist gyd
â'm henaid: gwaredaist fy einioes.
59 Ti, O ARGLWYDD, a welaist fy
ngham: barn di fy marn i.
60 Ti a welaist eu holl ddïal hwynt, *a'u*
holl amcanion i'm herbyn i.
61 Clywaist eu gwaradwydd, O AR-
GLWYDD, *a'u* holl fwriadau i'm herbyn;
62 Gwefusau y rhai a godant i'm herbyn,
a'u myfyrdod i'm herbyn ar hŷd y dydd.

63 Edrych ar eu heisteddiad a'u cyfodiad; a myfi yw eu cân hwynt.

a Adn. 14.

64 ¶ b Tâl y pwyth iddynt, O ARGLWYDD, yn ol gweithred eu dwylaw.

b Psal. 28. 4.

65 Dod iddynt † ofn calon, dy felldith iddynt.

† Neu, *gyndynrwydd.*

66 Erlid hwynt â digofaint, a difetha hwy oddi tan c nefoedd yr ARGLWYDD.

c Psal. 8. 3.

## PEN. IV.

Awst 14. B. 1 *Sion yn cwyno ei thostur gyflwr: 13 yn cyffesu ei phechodau. 21 Bygythio Edom; 22 a chysuro Sion.*

Cylch 588.

PA fodd y tywyllodd yr aur! y newidiodd yr aur coeth da! tafiwyd cerrig y cyssegr ym mhen pob heol.

2 Gwerthfawr feibion Sion, a chystal ag aur pur, pa fodd y cyfrifwyd hwynt a fel ystenau pridd, gwaith dwylaw'r crochenydd!

a Esay 30. 14. Jer. 19. 11.

3 Y dreigiau a dynnant allan eu bronnau, a roddant sugn i'w cenawon: merch fy mhobl *a aeth* yn greulon, b fel yr estrysiaid yn yr anialwch.

b Job 39. 14, 16.

4 c Tafod y plentyn sugno sydd yn glynu wrth daflod ei enau gan syched: d y plant a ofynant fara, *ond* nid *oedd* a dorrai iddynt.

c Psal. 22. 15. d Edrych Pen. 2. 11, 12.

5 Y rhai a ymborthent yn foethus, a ddifethwyd yn yr heolydd: y rhai a feithrinwyd mewn ysgarlad, e a gofleidiant y tommennydd.

e Job 24. 8.

6 Canys mwy yw † anwiredd merch fy mhobl nâ ‡ phechod Sodom, yr hon f a ddinystriwyd megis yn ddisymmwth, ni safodd llaw arni.

† Neu, *cospedigaeth.* ‡ Neu, *chospedigaeth.* f Gen. 19. 25.

7 Purach oedd ei Nazareaid hi nâ'r eira, gwynnach oeddynt nâ'r llaeth, gwridoccach oeddynt o gorph nâ'r cwrel, a'u trwsiad *oedd* o saphir.

8 § Duach yw'r golwg arnynt nâ'r glo; nid adweinir hwynt yn yr heolydd: eu croen a lŷn wrth eu hesgyrn; gwywodd, aeth yn debyg i bren.

§ Heb. *Tywyllach nâ du.*

9 Gwell yw y rhai a laddwyd â chleddyf, nâ'r rhai a laddwyd â newyn: oblegid y rhai hyn a ‖ ddihoenant, wedi eu trywanu o *eisiau* cnwd y maes.

‖ Heb. *lifeiriant.*

10 g Dwylaw gwragedd tosturiol a ferwasant eu plant eu hun: eu h hymborth oeddynt yn ninystr merch fy mhobl.

g Pen. 2. 20. h Deut. 28. 57. 2 Bren. 6. 29.

11 Yr ARGLWYDD a gyflawnodd ei ddigter, a dywalltodd lidiowgrwydd ei sorriant, ac i a gynneuodd dân yn Sion, yr hwn a ddifaodd ei seiliau hi.

i Deut. 32. 22.

12 Ni choeliasai brenhinoedd y ddaear, na holl drigolion y byd, y deuai'r gwrthwynebwr a'r gelyn i mewn i byrth Jerusalem.

13 ¶ k Am bechodau ei phrophwydi, *ac* anwiredd ei hoffeiriaid, y rhai a ollyngasant waed y rhai cyfiawn o'i mewn hi;

k Jer. 5. 31. a 23. 21.

14 Gwibiasant *fel* deillion yn yr heolydd, *ac* ymddiffwynasant gan waed, † fel na ellid cyffwrdd â'u dillad hwynt.

† Neu, *gan na's gallent na chyffwrdd* â'u, &c.

15 Gwaeddasant arnynt, Ciliwch; ‡ aflan *yw;* ciliwch, ciliwch, na chyffyrddwch; pan ffoisant, ac yr aethant ymaith. Dywedent ym mysg y cenhedloedd, Ni thrigant hwy *yma* mwyach.

‡ Neu, *O aflan.* § Heb. *Wyneb.*

16 § Sorriant yr ARGLWYDD a'u gwasgarodd hwynt; nid edrych efe arnynt mwy: ni pharchent hwy'r offeiriaid, ni thosturient wrth yr henafgwŷr.

l 2 Bren. 24. 7. Esay 30. 6, 7. Jer. 37. 7. Ezec. 29. 16.

17 Ninnau hefyd, l ein llygaid a ballasant am ein cynhorthwy ofer: gan ddisgwyl disgwyl yr oeddem ni wrth genhedlaeth ni allai ein hachub.

18 m Hwy a olrheiniant ein cerddediad, fel na allwn fyned ar hyd ein heolydd: y mae ein diwedd ni yn agos, ein dyddiau ni a gyflawnwyd; canys daeth ein diwedd ni.

m 2 Bren. 25. 4, 5.

19 n Buanach yw ein herlidwŷr nag eryrod yr awyr: y maent yn ein herlid ni ar y mynyddoedd, yn ein cynllwyn yn yr anialwch.

n Deut. 28. 49.

20 o Anadl ein ffroenau, enneiniog yr ARGLWYDD, p a ddaliwyd yn eu ‖ rhwydau hwynt, *am* yr hwn y dywedasem, Dan ei gysgod ef y byddwn ni byw ym mysg y cenhedloedd.

o Gen. 2. 7. p Jer. 52. 8. Ezec. 12. 13. a 19. 4, 8. ‖ *ffosydd.*

21 Bydd lawen a hyfryd, merch Edom, yr hon wyt yn trigo yn nhir Us: q daw'r r cwppan attat tithau hefyd; ti a feddwi, ac a ymnoethi.

q Jer. 25. 15, 16, 21. r Esay 40. 2.

22 ¶ r Gorphenwyd dy † gospedigaeth di, merch Sion; ni chaeth-glude efe di mwy: efe a ymwel â'th anwiredd di, merch Edom; efe ‡ a ddatguddia dy bechodau.

† Neu, *anwiredd.* ‡ Neu, *a'th gaethglude am dy bechodau.*

## PEN. V.

*Tostur gwynfan Sion, mewn gweddi at Dduw.* Awst 14. P.

Cylch 588.

COFIA, O ARGLWYDD, beth a ddaeth i ni: edrych a gwel ein gwaradwydd.

2 Ein hetifeddiaeth ni a drowyd i estroniaid, a'n tai i ddieithriaid.

3 Ymddifaid ydym heb dadau; ein mammau *sydd* megis gweddwon.

4 Yr ydym yn yfed ein dwfr am arian; ein coed sy'n dyfod am werth.

5 † Ein gwarrau sydd dan erlid: llafurio'r ydym, nid oes gorphwysdra i ni.

† Heb. *Ar ein gwarrau y' herlidir.*

6 Rhoisom ein llaw i'r Aiphtiaid, i'r Assyriaid, i gael digon o fara.

7 a Ein tadau a bechasant, ac nid *ydynt:* ninnau sy'n dwyn eu ‡ cosp hwynt.

a Jer. 31. 29. Ezec. 18. 2. ‡ *hanwireddau.*

8 Gweision sy'n llywodraethu arnom ni, heb *fod* a'n gwaredo o'u llaw hwynt.

9 *Mewn enbydrwydd* am ein heinioes y dygasom ein bara i mewn, o herwydd cleddyf yr anialwch.

10 Ein b croen a dduodd fel ffwrn, § gan y newyn tost.

b Job 30. 30. Psal. 119. 83. § Neu, *gan ddychrynadau,* neu, *dymhestloedd y newyn.*

11 Hwy a dreisiasant y gwragedd yn Sion, a'r morwynion yn ninasoedd Judah.

12 Crogasant dywysogion â'u dwylaw; c ni pherchid wynebau'r henafgwŷr.

c Esay 47. 6.

13 Hwy a gymmerasant y gwŷr ieuaingc i falu; a'r plant a syrthiasant dan y coed.

14 Yr henafgwŷr a beidiasant â'r porth; y gwŷr ieuaingc â'u cerdd.

15 Darfu llawenydd ein calon: ein dawns a drodd yn alar.

16 Syrthiodd ‖ y goron *oddi am* ein pen: gwae ni yn awr bechu o honom.

‖ Heb. *coron ein.*

17 Am hyn d y mae'n calon yn ofidus; e am hyn y tywyllodd ein llygaid.

d Pen. 1. 22.

18 O herwydd mynydd Sion, yr hwn a anrheithiwyd, y mae'r llwynogod yn rhodio ynddo.

e Psal. 6. 7. f Psal. 9. 7. a 10. 16. a 29. 10. a 90. 2. a 102. 12, 27. a 146. 10. Hab. 1. 12.

19 f Ti, ARGLWYDD, a barhêi byth; dy orseddfaingc yn oes oesoedd.

20 Pa ham yr anghofi ni byth, ac y gadewi ni dros hir ddyddiau?

21 g Dychwel ni, O ARGLWYDD, attat ti, a ni a ddychwelir: adnewydda'n dyddiau megis cynt.

g Psal. 80. 3, 7, 19. Jer. 31. 18.

22 † Eithr ti a'n llwyr-wrthodaist ni: ti a ddigiaist wrthym ni yn ddirfawr

† *Canys a llwyr-wrthodi di nyni?*

# ¶ LLYFR Y PROPHWYD EZECIEL.

## PEN. I.

*1 Yr amser y prophwydodd Ezeciel yn Chebar. 4 Gweledigaeth y pedwar Cherub, 15 y pedair olwyn, 26 a gogoniant Duw.*

Cyn A Darfu yn y ddegfed flwyddyn ar hu-
Crist gain, yn y pedwerydd *mis*, ar y pummed
595. dydd o'r mis (a mi ym mysg † y gaeth-glud
† y rhai a gaeth-gludasid. wrth afon Chebar) [a] agoryd y nefoedd; a
gwelwn weledigaethau Duw.
a Felly Mat. 3. 16. 2 Yn y pummed *dydd* o'r mis (honno
Act. 7. 56. oedd y bummed flwyddyn o gaeth-gludiad
a 10. 11. Dat. 19. 11. [b] brenhin Jehoiachin)
3 Y daeth gair yr ARGLWYDD yn eglur
b 2 Bren. 24. 12. at ‡ Ezeciel yr offeiriad mab Buzi, yn nhir
y Caldeaid, wrth afon Chebar; ac [c] yno y
‡ Heb. Jehezcel. bu llaw'r ARGLWYDD arno ef.
4 ¶ Yna'r edrychais, ac wele yn dyfod
c 1 Bren. 18. 46. o'r gogledd gorwynt, *a* chwmmwl mawr,
Pen. 3. 14, 22. a thân yn ymgymmeryd, a disgleirdeb o
amgylch iddo; ac o'i ganol, *sef* o ganol y
§ gwefr. tân, fel lliw § ambr.
5 Hefyd o'i ganol *y daeth* cyffelybrwydd
d Pen. 10. 8, &c. i bedwar peth byw. A [d] dyma eu hagwedd
hwynt, Dull dyn oedd iddynt.
e Adn. 10. 6 A [e] phedwar wyneb i *bob* un, a phedair
aden i *bob* un o honynt.
‖ Heb. droed. 7 A'u traed yn ‖ draed uniawn; a gwadn
eu traed fel gwadn troed llo; a gwreichioni
yr oeddynt fel lliw efydd gloyw.
8 Ac *yr oedd* dwylaw dyn oddi tan eu ha-
denydd, ar eu pedwar ystlys; eu hwynebau
hefyd a'u hadenydd *oedd* ganddynt ill pe-
dwar.
f Adn. 11, 12. 9 [f] Eu hadenydd hwynt *oedd* wedi eu
cyssylltu y naill wrth y llall: pan gerddent
ni throënt; aent bob un yn union rhag ei
wyneb.
g Edrych Dat. 4. 7. 10 Dyma [g] ddull eu hwynebau hwynt;
Wyneb dyn, ac wyneb llew, *oedd* ar y tu
dehau iddynt ill pedwar: ac wyneb ŷch
o'r tu aswy iddynt ill pedwar, ac wyneb
eryr iddynt ill pedwar.
11 Dyma eu hwynebau hwynt; a'u haden-
† Neu, lledu. ydd *oedd* wedi eu † dospartlu oddi arnodd,
dwy i bob un wedi eu cyssylltu â'u gilydd, a
h Esay 6. 2. [h] dwy oedd yn cuddio eu cyrph.
12 [i] Aent hefyd bob un yn uniawn rhag
i Adn. 9. ei wyneb; [k] i'r lle y byddai'r yspryd ar
k Adn. 20. fyned, yno yr aent; [l] ni throënt pan gerdd-
l Adn. 17. ent.
13 Dyma ddull y pethau byw; Eu gwel-
ediad oedd fel marwor tân yn llosgi, *ac* fel
gweledigad ffaglau: yr oedd efe yn ym-
gerdded rhwng y pethau byw, a disglair
oedd y tân, a mellt yn dyfod allan o'r tân.
14 Rhedai hefyd, a dychwelai'r pethau
byw, fel gweledigad mellten.
15 ¶ Edrychais hefyd ar y pethau byw:
ac wele, ar lawr yn ymyl y pethau byw un
olwyn, gyd â'i bedwar wyneb.
16 Dull yr olwynion a'u gwaith *oedd* fel
lliw beryl: a'r un dull oedd iddynt ill pe-
dair; a'u gwedd hwynt a'u gwaith fel pe
byddai olwyn ynghanol olwyn.
17 Pan elent, aent ar eu pedwar ochr:
m Adn. 12. [m] ni throënt pan gerddent.
18 Eu cantau hefyd oedd gyfuwch ag yr
oeddynt yn ofnadwy: a'u cantau *oedd* yn
llawn llygaid oddi amgylch ill pedwar.
19 A phan gerddai'r pethau byw, yr ol-
wynion a gerddent wrthynt; a phan ym-
godai'r pethau byw oddi ar y ddaear, yr
ymgodai'r olwynion.

20 [n] I'r lle *y byddai*'r yspryd i fyned, n Adn. 12.
yr aent, yno'*r oedd* eu hyspryd ar fyned;
a'r olwynion a ymgodent ar eu cyfer
hwynt: canys yspryd ‡ y peth byw *oedd* yn ‡ Neu, bywyd.
yr olwynion.
21 [o] Cerddent pan gerddent hwythau, a o Adn. 19, 20.
safent pan safent hwythau; a phan ymgod-
ent hwy oddi ar y ddaear, yr olwynion a
ymgodent ar eu cyfer hwythau: canys ys-
pryd § y peth byw *oedd* yn yr olwynion. § Neu, bywyd.
22 Ac *yr oedd* ar bennau'r pethau byw
ddull y ffurfafen, fel lliw grisial ofnadwy,
wedi ei hestyn dros eu pennau hwynt oddi
arnodd.
23 A than y ffurfafen *yr oedd* eu haden-
ydd hwynt yn uniawn, y naill tu ag at y
llall: dwy i bob un, yn eu cuddio o'r naill
du, a dwy i bob un yn cuddio eu cyrph, o'r
tu arall.
24 A mi a glywn swn eu hadenydd
hwynt, fel swn dyfroedd lawer, fel swn
yr Holl-alluog, pan gerddent: swn llefer-
ydd, fel swn llu: pan safent, llaesent eu
hadenydd.
25 Ac yr oedd llais oddi ar y ffurfafen yr
hon *oedd* ar eu pennau hwynt, pan safent,
*ac* y llaesent eu hadenydd.
26 ¶ Ac oddi ar y ffurfafen yr hon *oedd*
ar eu pennau hwynt, *yr oedd* cyffelybrwydd
gorseddfaingc, fel gweledigad maen saphir,
ac ar gyffelybrwydd yr orseddfaingc *yr*
*oedd* oddi arnodd arno ef gyffelybrwydd
megis gweledigad dyn.
27 Gwelais hefyd megis lliw ‖ ambr, fel ‖ gwefr.
gweledigad tân o'i fewn o amgylch: o weled-
iad ei lwynau ac uchod, ac o weledigad ei
lwynau ac isod, y gwelais megis gweledigad
tân, a disgleirdeb iddo oddi amgylch.
28 [p] Fel gweledigad y bwa a fydd yn y p Dat. 4. 3.
cwmmwl ar ddydd gwlawog, fel hyn *yr*
*oedd* gweledigad y disgleirdeb o amgylch.
Dyma weledigad cyffelybrwydd gogoniant
yr ARGLWYDD. A phan welais, [q] syrth- q Pen. 3. 23.
iais ar fy wyneb, a chlywais lais un yn Dan. 8. 17. Dat. 1. 17.
llefaru.

## PEN. II.

*1 Awdurdod Ezeciel, 6 a'i addysg. 9 Plyg llyfr ei orthrwm brophwydoliaeth ef.* Awst 15. B.

AC efe a ddywedodd wrthyf, Mab dyn, 595.
saf ar dy draed, a mi a lefaraf wrthyt. a Pen. 3.
2 [a] A'r yspryd a aeth ynof, pan lefarodd 24.
efe wrthyf, ac a'm gosododd ar fy nhraed,
fel y clywais yr hwn a lefarodd wrthyf.
3 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Mab dyn,
yr ydwyf fi yn dy ddanfon di at feibion Is-
rael, at † genedl wrthryfelgar, y rhai a † Heb. genhedloedd.
wrthryfelasant i'm herbyn; [b] hwynt-hwy
a'u tadau a droseddasant i'm herbyn, hyd b Jer. 3. 25.
gorph y dydd hwn. c Pen. 3.
4 Meibion wyneb-galed hefyd a chadarn- 11.
galon yr wyf fi yn dy ddanfon attynt: dy- d Pen. 3.
wed dithau wrthynt, Fel hyn y dywed yr 26, 27.
ARGLWYDD DDUW. e Pen. 33.
5 A [c] pha un bynnag a wnelont ai 33.
gwrando, ai peidio ([d] canys tŷ gwrthryfel- f Jer. 1. 8, 17.
gar *ydynt*) etto [e] cânt wybod fod prophwyd Luc 12. 4.
yn eu mysg hwynt. ‡ Neu, mieri.
6 ¶ Tithau, fab dyn, [f] nac ofna rhag-
ddynt, ac na arswyda er eu geiriau hwynt, g Jer. 6. 28. Mich. 7. 4.
er *bod* ‡ [g] gwrthryfelwŷr a drain gyd â thi,
a thithau yn trigo ym mysg ysgorpionau: h Pen. 3. 9.
[h] nac ofna rhag eu geiriau hwynt, ac na 1 Petr 3. 14.
ddychryna gan eu hwynebau hwynt, er § Heb. gwrthryfel.
mai tŷ § gwrthryfelgar *ydynt*.

7 Etto llefara di fy ngeiriau wrthynt, pa
un bynnag a wnelont ai gwrando ai peidio;
† Heb. gwrthryfel. canys † gwrthryfelgar ydynt.
8 Tithau fab dyn, gwrando'r hyn yr
ydwyf fi yn ei lefaru wrthyt, Na fydd di
wrthryfelgar fel y tŷ gwrthryfelgar hwn:
ᵇ Dat. 10. 9. lleda dy safn, a ⁱ bwytta'r hyn yr ydwyf fi
yn ei roddi i ti.
9 ¶ Yna'r edrychais, ac wele law wedi ei
hanfon attaf, ac wele ynddi blyg llyfr.
10 Ac efe a'i dadblygodd o'm blaen i: ac
yr oedd efe wedi ei 'sgrifenu wyneb a chefn;
ac yr oedd wedi 'sgrifenu arno, galar, a gridd-
fan, a gwae.

## PEN. III.

Awst 15. P. 1 *Ezeciel yn bwytta'r plyg llyfr: 4 a Duw
*yn ei nerthu ef: 15 ac yn dangos iddo reol*
*prophwydoliaeth: 22 ac yn cau ac yn egori*
*genau'r prophwyd.*

595. AC efe a ddywedodd wrthyf, Mab dyn,
ᵃ Pen. 2. 8. bwytta'r hyn a geffych, ᵃ bwytta'r
llyfr hwn, a dos a llefara wrth dŷ Israel.
2 Yna mi a agorais fy safn, ac efe a
wnaeth i mi fwytta'r llyfr hwnnw.
3 Dywedodd hefyd wrthyf, Bwyda dy
fol, a llanw dy berfedd, fab dyn, â'r llyfr
ᵇ Dat. 10. 6. hwn yr ydwyf fi yn ei roddi attat. Yna ᵇ y
Edrych bwytteais; ac yr oedd efe yn fy safn fel mel
Jer. 15. 16. o felusder.
4 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, Mab
dyn, cerdda, dos at dŷ Israel, a llefara â'm
geiriau wrthynt.
† Heb. ddwfn o wefusau a thrum o dafod. Felly adn. 6. 5 Canys nid at bobl † o iaith ddïeithr ac
o dafodiaith galed y'th anfonir di, *ond* at dŷ
Israel;
6 Nid at bobloedd lawer o iaith ddïeithr
ac o dafodiaith galed, y rhai ni ddealli eu
‡ Neu, Diau y gwrandawsai, &c. hymadroddion. ‡ Oni wrandawsai y rhai
hynny arnat, *pe* y'th anfonaswn attynt?
7 Etto tŷ Israel ni fynnant wrando arnat
ti; canys ᶜ ni fynnant wrando arnaf fi:
ᶜ Ioan 15. 20. oblegid tal-gryfion a chaled-galon *ydynt*
hwy, holl dŷ Israel.
8 Wele, gwnaethum dy wyneb yn gryf
yn erbyn eu hwynebau hwynt, a'th dàl yn
gryf yn erbyn eu talcennau hwynt.
ᵈ Esay 50. 7. 9 Gwnaethum dy dalcen ᵈ fel adamant,
Jer. 1. 18. yn galettach nâ'r gallestr: ᵉ nac ofna hwynt,
a 15. 20. ac na ddychryna rhag eu hwynebau, er mai
Mich. 3. 8. tŷ gwrthryfelgar *ydynt*.
ᵉ Jer. 1. 8, 17. 10 Dywedodd hefyd wrthyf, Ha fab dyn,
Pen. 2. 6. derbyn â'th galon, a chlyw â'th glustiau, fy
holl eiriau a lefarwyf wrthyt.
11 Cerdda hefyd, a dos at y gaeth-glud,
at feibion dy bobl, a llefara hefyd wrthynt,
a dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr Ar-
ᶠ Pen. 2. 5, 7. GLWYDD DDUW; ᶠ pa un bynnag a wnelont
ai gwrando ai peidio.
ᵍ Pen. 8. 3. 12 ᵍ Yna'r yspryd a'm cymmerodd, a
Edrych chlywn swn cynnwrf mawr o'm hol, *yn*
1 Bren. 18. 12. *dywedyd*, Bendigedig *fyddo* gogoniant yr
2 Bren. 2. 16. ARGLWYDD o'i le.
Act. 8. 39. 13 A swn adenydd y pethau byw oedd yn
§ Heb. cusanu eu gilydd. § cyffwrdd â'u gilydd, a swn yr olwynion ar
eu cyfer hwynt, a swn cynnwrf mawr.
14 A'r yspryd a'm cyfododd, ac a'm
ʰ 2 Bren. 3. 15. cymmerodd ymaith, a mi a aethum yn
Pen. 8. 1. chwerw yn an-gerdd fy yspryd; ond ʰ llaw'r
ARGLWYDD *oedd* gref arnaf.
15 ¶ A mi a ddeuthum i Tel-abib, at y
gaeth-glud oedd yn aros wrth afon Chebar,
ⁱ Job 2. 13. a ⁱ mi a eisteddais lle'r oeddynt hwythau'n
eistedd, ïe, eisteddais yno saith niwrnod yn
synn yn eu plith hwynt.
16 Ac ym mhen y saith niwrnod y daeth
gair yr ARGLWYDD attaf, gan ddywedyd,

17 ᵏ Mab dyn, mi a'th wneuthum di ˡ yn ᵏ Pen. 33. 7, &c.
wyliedydd i dŷ Israel: am hynny gwrando'r
gair o'm genau, a rhybuddia hwynt oddi ˡ Esay 52. 8. a 56. 10.
wrthyf fi. a 62. 6.
18 Pan ddywedwyf wrth y drygionus, Jer. 6. 17.
Gan farw y byddi farw; oni rybuddi ef, ac
oni lefari i rybuddio'r drygionus oddi wrth
ei ddrygffordd, fel y byddo byw; y dryg-
ionus hwn a fydd marw yn ei anwiredd:
ond ei waed ef a ofynaf fi ar dy law di.
19 Ond os rhybuddi'r drygionus, ac yntau
heb droi oddi wrth ei ddrygioni, na'i ffordd
ddrygionus, efe a fydd marw yn ei ddrygi-
oni; ond ti a achubaist dy enaid.
20 Hefyd ᵐ pan ddychwelo'r cyfiawn ᵐ Pen. 18.
oddi wrth ei ‖ gyfiawnder, a gwneuthur 24. a 33.
camwedd, a rhoddi o honof dramgwydd o'i 12, 13.
flaen ef, efe fydd marw: am na rybuddiaist ‖ Heb.
ef, am ei bechod y bydd efe marw, a'i gyf- *gyfiawnderau.*
iawnder yr hwn a wnaeth efe ni chofir;
ond ei waed ef a ofynaf ar dy law di.
21 Ond os tydi a rybuddi'r cyfiawn, rhag
pechu o'r cyfiawn, ac na phecho efe; gan
fyw y bydd efe byw, am ei rybuddio: a thi-
thau a achubaist dy enaid.
22 ¶ Ac ⁿ yno y bu llaw'r ARGLWYDD ⁿ Pen. 1. 3.
arnaf, ac efe a ddywedodd wrthyf, Cyfod, Adn. 14.
dos i'r gwastadedd, ac yno y llefaraf wrthyt.
23 Yna y cyfodais, ac yr euthum i'r gwas-
tadedd: ac wele ogoniant yr ARGLWYDD yn
sefyll yno, fel y gogoniant ᵒ a welswn wrth ᵒ Pen. 1.
afon Chebar: a ᵖ mi a syrthiais ar fy wyneb. ᵖ Pen. 1.
24 Yna yr aeth ᑫ yr yspryd ynof, ac a'm 28.
gosododd ar fy nhraed, ac a ymddiddanodd ᑫ Pen. 2. 2.
â mi, ac a ddywedodd wrthyf, Dos, a chau
arnat o fewn dy dŷ.
25 Tithau fab dyn, wele, ʳ hwy a roddant ʳ Pen. 4. 8.
rwymau arnat, ac a'th rwymant â hwynt, ac
na ddos allan yn eu plith.
26 A ˢ mi a wnaf i'th dafod lynu wrth ˢ Pen. 24.
dafod dy enau, a thi a wneir yn fud, ac ni 27.
byddi iddynt yn geryddwr: ᵗ canys tŷ gwrth- Luc 1. 20, 22.
ryfelgar *ydynt*. ᵗ Pen. 2.
27 Ond pan lefarwyf wrthyt, yr agoraf dy 5, 7
safn, a dywedi wrthynt, Fel hyn y dywed yr
ARGLWYDD DDUW, Yr hwn a wrandawo,
gwrandawed; a'r hwn a beidio, peidied:
canys tŷ gwrthryfelgar *ydynt*.

## PEN. IV.

1 *Dan rith a chysgod amgylchynu'r ddinas, y*
*mae'n dangos yr amser o wrthryfel Jero-*
*boam hyd y caethiwed: 9 a thrwy ddarparu*
*lluniaeth mewn gwarchae, yn dangos dosted*
*fyddai'r newyn.*

TITHAU fab dyn, cymmer it' briddlech, 595.
a dod hi o'th flaen, a llunia arni ddinas
Jerusalem:
2 A gwarchae yn ei herbyn hi, ac adeil-
ada wrthi † warchglawdd, a bwrw o'i † Neu, *bennaethiaid.*
hamgylch hi wrthglawdd; dod hefyd wer-
sylloedd wrthi, a gosod offer rhyfel yn ei
herbyn o amgylch.
3 Cymmer it' hefyd ‡ badell haiarn, a dod ‡ Neu, *radell.*
hi *yn* fur haiarn rhyngot a'r ddinas; a chy-
feiria dy wyneb atti, a bydd mewn gwar-
chäedigaeth, a gwarchae di arni. Arwydd
*fydd* hyn i dŷ Israel.
4 Gorwedd hefyd ar dy ystlys aswy, a
gosod anwiredd tŷ Israel arno; *wrth* rifedi'r
dyddiau y gorweddych arno, y dygi eu han-
wiredd hwynt
5 Canys rhoddais arnat ti flynyddoedd eu Dechreu 975.
hanwiredd hwynt, wrth rifedi'r dyddiau, tri
chan niwrnod a deg a phedwar ugain: felly diwedd 585.
y dygi anwiredd tŷ Israel.

6 A phan orphenych y rhai hynny, gorwedd eilwaith ar dy ystlys ddehau, a thi a ddygi anwiredd tŷ Judah ddeugain niwrnod: [a] † pob diwrnod am flwyddyn a roddais i ti.

595.
[a] Num. 14. 34.
† Heb. diwrnod am flwyddyn, diwrnod am flwyddyn.

7 A chyfeiria dy wyneb at warchaeedigaeth Jerusalem, a'th fraich yn noeth; a thi a brophwydi yn ei herbyn hi.

8 Wele hefyd, rhoddais rwymau arnat, fel na throech ‡ o ystlys i ystlys, nes gorphen o honot ddyddiau dy warchaeedigaeth.

‡ Heb. o'th ystlys i'th ystlys.

9 ¶ Cymmer it' hefyd wenith, a haidd, a ffa, a ffacbys, a milet, a chorbys, a dod hwynt mewn un llestr, a gwna hwynt i ti yn fara, dros rifedi 'r dyddiau y gorweddych ar dy ystlys: tri chan niwrnod a deg a phedwar ugain y bwyttêi ef.

10 A'th fwyd a fwyttêi *a fydd* wrth bwys, ugain sicl yn y dydd: o amser i amser y bwyttêi ef.

11 Y dwfr hefyd a yfi wrth fesur; chweched *ran* hin a yfi, o amser i amser.

12 Ac *fel* teisen haidd y bwyttêi ef; ti a'i cresi hi *hefyd* wrth dail tom dyn, yn eu gŵydd hwynt.

13 A dywedodd yr ARGLWYDD, Felly [b] y bwytty meibion Israel eu bara halogedig ym mysg y Cenhedloedd y rhai y gyrraf hwynt attynt.

[b] Hos. 9. 3.

14 Yna y dywedais, [c] O ARGLWYDD DDUW, wele, ni halogwyd fy enaid, ac ni fwytteais [d] furgyn neu 'sglyfaeth o'm hieuengctid hyd yr awr hon; ac ni ddaeth i'm safn gig ffiaidd.

[c] Act. 10. 14.
[d] Exod. 22. 31. Lef. 11. 2. a 17. 15. Deut. 14. 3.

15 Yntau a ddywedodd wrthyf, Wele, mi a roddais it' fiswail gwartheg yn lle tom dyn, ac â hwynt y gwnei dy fara.

16 Dywedodd hefyd wrthyf, Mab dyn, wele [e] fi yn torri ffon bara yn Jerusalem, fel y bwyttaont fara dan bwys, ac mewn gofal; ac yr yfont ddwfr dan fesur, ac mewn syndod.

[e] Lef. 26. 26. Psal. 105. 16. Esay 3. 1. Pen. 5. 16. a 14. 13.

17 Fel y byddo arnynt eisiau bara a dwfr, ac y synnont un gyd ag arall, ac [f] y darfyddont yn eu hanwiredd.

[f] Lef. 26. 39.

## PEN. V.

1 *Dan rith a chusgod y gwallt,* 5 *y mae yn dangos barnedigaeth Jerusalem am eu hanufudd-dod;* 12 *a hynny trwy newyn, a chleddyf, a gwasgarfa.*

594.

TITHAU fab dyn, cymmer it' gyllell lem, cymmer it' ellyn eillio, † ac [a] eillia dy ben a'th farf: yna y cymmeri it' gloriannau pwys, ac y rhenni hwynt.

† Heb. a gwna iddo dramwy ar dy ben, &c.
[a] Esay 7. 20.

2 [b] Traian a losgi yn tân ynghanol [c] y ddinas, pan gyflawner [d] dyddiau 'r gwarchae; traian a gymmeri hefyd, *ac* a'i tarewi â'r gyllell o'i amgylch; a thraian a daeni gyd â'r gwŷnt: a mi a dynnaf gleddyf ar eu hol hwynt.

[b] Adn. 12.
[c] Pen. 4. 1.
[d] Pen. 4. 8, 9.

3 Cymmer hefyd oddi yno ychydig o nifer, a chylymma hwynt yn dy ‡ odre.

‡ Heb. esgyll.

4 A chymmer eilwaith *rai* o honynt hwy, a thafl hwynt i ganol y tân, a llosg hwynt yn tân: o hono y daw allan dân i holl dŷ Israel.

5 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Jerusalem *yw* hon: gosodais hi ym mysg y cenhedloedd a'r tiroedd o'i hamgylch.

6 A hi a newidiodd fy marnedigaethau i ddrygioni yn fwy nâ 'r cenhedloedd, a'm deddfau yn fwy nâ 'r gwledydd *sydd* o'i hamgylch: canys gwrthodasant fy marnedigaethau, a'm deddfau, ni rodiasant ynddynt.

7 Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Am i chwi amlhau yn fwy nâ 'r cenhedloedd *sydd* o'ch amgylch, heb rodio o honoch yn fy neddfau, na gwneuthur fy marnedigaethau, ac [e] na wnaethoch yn ol barnedigaethau 'r cenhedloedd *sydd* o'ch amgylch;

[e] Jer. 2. 10, 11.

8 Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Wele fi, ie myfi, *ydwyf* yn dy erbyn, a gwnaf yn dy ganol di farnedigaethau yngolwg y cenhedloedd.

9 A gwnaf ynot yr hyn ni wneuthum, ac ni's gwnaf ei fath mwy; am dy holl ffieidddra.

10 Am hynny y tadau [f] a fwyttânt y plant yn dy fysg di, a'r plant a fwytty eu tadau; a gwnaf ynot farnedigaethau, a mi a daenaf dy holl weddill gyd â phob gwŷnt.

[f] Lef. 26. 29. Deut. 28. 53. 2 Bren. 6. 29. Jer. 19. 9. Galar. 2. 20. a 4. 10. Baruch 2. 3.

11 Am hynny, *fel mai* byw fi, medd yr ARGLWYDD DDUW, Yn ddïau am halogi o honot fy nghyssegr â'th holl ffieidd-dra ac â'th holl fryntni, am hynny hefyd y prinhâf finnau *di*; ac [g] nid arbed fy llygad, ac ni thosturiaf chwaith.

[g] Pen. 7. 4, 9. a 8. 18.

12 ¶ [h] Dy draian fyddant feirw o'r haint, ac a ddarfyddant o newyn, yn dy ganol; a thraian a syrthiant ar y cleddyf o'th amgylch; a [i] thraian a daenaf gyd â phob gwŷnt: a [k] thynnaf gleddyf ar eu hol hwynt.

[h] Edrych adn. 2. a Jer. 15. 2.
[i] Pen. 6. 8.
[k] Lef. 26. 33.

13 Felly y gorphenir fy nig, ac y llonyddaf fy llidiowgrwydd yn eu herbyn hwynt, ac [l] ymgysuraf: a hwy a gânt wybod mai myfi 'r ARGLWYDD a'i lleferais yn fy ngwŷn, pan orphenwyf fy llid ynddynt.

[l] Esay 1. 24.

14 A rhoddaf di hefyd yn anrhaith, ac yn warth ym mysg y cenhedloedd *sydd* o'th amgylch, yngolwg pawb a el heibio.

15 Yna y bydd [m] y gwaradwydd a'r gwarthrudd yn ddysg ac yn syndod i'r cenhedloedd *sydd* o'th amgylch, pan wnelwyf ynot farnedigaethau mewn dig a llidiowgrwydd, a cherydd llidiog. Myfi 'r ARGLWYDD a'i lleferais.

[m] Deut. 28. 37.

16 Pan [n] anfonwyf arnynt ddrwg saethau newyn, y rhai fyddant i'w difetha, y rhai a ddanfonaf i'ch difetha: casglaf hefyd newyn arnoch, a [o] thorraf eich ffon bara:

[n] Deut. 32. 23.
[o] Pen. 4. 16.

17 Anfonaf hefyd arnoch newyn, a [p] bwystfil drwg; ac efe a'th ddiblanta di: haint hefyd a gwaed a dramwya trwot ti; a dygaf gleddyf arnat. Myfi 'r ARGLWYDD a'i lleferais.

[p] Lef. 26. 22.

## PEN. VI.

1 *Barnedigaeth Israel am eu delw-addoliaeth.* 8 *Gweddill a fendithir.* 11 *Annog y ffyddloniaid i gwyno eu gofid.*

Awst 16. B.

ADaeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan ddywedyd, 594.

2 Mab dyn, gosod dy wyneb tu a [a] mynyddoedd Israel, a phrophwyda yn eu herbyn;

[a] Pen. 36. 1.

3 A dywed, Mynyddoedd Israel, gwrandêwch air yr ARGLWYDD DDUW: Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW wrth y mynyddoedd ac wrth y bryniau, wrth y nentydd ac wrth y dyffrynoedd; Wele fi, ie myfi 'n dwyn cleddyf arnoch, a mi a ddinystriaf eich uchel-leoedd.

4 Eich allorau hefyd a ddifwynir, a'ch † haul-ddelwau a ddryllir: a [b] chwympaf eich archolledigion o flaen eich eilunod.

† Neu, delwau; ac felly adn. 6.

5 A rhoddaf gelanedd meibion Israel ger bron eu heilunod, a thaenaf eich esgyrn o amgylch eich allorau.

[b] Lef. 26. 30.

6 Yn eich holl drigfeydd y dinasoedd a
anrheithir, a'r uchelfeydd a ddifwynir; fel
yr anrheithier ac y difwyner eich allorau,
ac y torrer ac y peidio eich eilunod, ac y
torrer ymaith eich haul-ddelwau, ac y di-
leer eich gweithredoedd.
7 Yr archolledig hefyd a syrth yn eich
[c] Adn. 13. canol; a [c] chewch wybod mai myfi *yw* yr
Pen. 7. 4. ARGLWYDD.
9. a 11. 10, 12. 8 ¶ [d] Etto gadawaf weddill, fel y byddo
[d] Pen. 5. 2, 12. i chwi *rai* wedi diange gan y cleddyf ym
mysg y cenhedloedd, pan wasgarer chwi
trwy'r gwledydd.
9 A'ch rhai dïangol a'm cofiant i ym
mysg y cenhedloedd y rhai y caeth-gludir
[e] Psal. 78. 40. hwynt attynt, am [e] fy nryllio â'u calon
Esay 7. 13. butteinllyd, yr hon a giliodd oddi wrthyf;
a 63. 10. ac [f] â'u llygaid, y rhai a butteiniasant ar ol
[f] Num. 15. 39. eu heilunod: [g] yna'r ymffieiddiant yn-
Pen. 20. 7, 24. ddynt eu hun am y drygioni a wnaethant yn
eu holl ffieidd-dra.
[g] Lef. 26. 39. 10 A chânt wybod mai myfi *yw*'r AR-
Pen. 36. 31. GLWYDD, *ac* na leferais yn ofer am wneu-
thur iddynt y drwg hwn.
11 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
[h] Pen. 21. 17. DDUW; [h] Taro â'th law, a chur â'th droed,
a dywed, Oh, rhag holl ffieidd-dra dryg-
ioni tŷ Israel: canys trwy gleddyf, trwy
newyn, a thrwy haint, y syrthiant.
12 Y pellennig a fydd marw o'r haint,
a'r cyfagos a syrth gan y cleddyf; y gwe-
ddilledig hefyd a'r gwarchaeedig a fydd
marw o newyn: fel hyn y gorphenaf fy
llidiowgrwydd arnynt.
[i] Adn. 7. 13 A [i] chewch wybod mai myfi *yw*'r
ARGLWYDD, pan fyddo eu harcholledig-
ion hwynt ym mysg eu heilunod o amgylch
[k] Esay 57. 5. eu hallorau, [k] ar bob bryn uchel, ar holl
Hos. 4. 13. bennau'r mynyddoedd, a than bob pren îr,
a than bob derwen gauadfrig, lle y rhodd-
asant arogl peraidd i'w holl eilunod.
14 Felly'r estynaf fy llaw arnynt, a gwnaf
† Neu, *anrheithiol o'r anialwch.* y tir yn anrhaith; ïe yn fwy † anrheithiol
nâ'r anialwch *tu a* Diblath, trwy eu holl
drigfeydd: a chânt wybod mai myfi *yw*'r
ARGLWYDD.

## PEN. VII.

Awst 16. P. 1 *Llwyr-anrhaith Israel.* 16 *Galarus edi-
feirwch y rhai a ddïangent.* 20 *Y gelynion
yn halogi'r cyssegr, o herwydd ffieidd-dra'r
Israeliaid.* 23 *Dan rith cadwyn y mae'n
dangos eu gofidus gaethiwed hwy.*

594. ADaeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan
ddywedyd,
2 Tithau, fab dyn, fel hyn y dywed yr
[a] Adn. 3, 6. ARGLWYDD DDUW wrth dir Israel; [a] Di-
Amos 8. 2. wedd, diwedd a ddaeth ar bedair congl y
Mat. 24. 6, 13, 14. tir.
[b] Adn. 8, 9. 3 *Daeth* yr awr hon ddiwedd arnat, a mi
a anfonaf fy nig arnat ti; [b] barnaf di *hefyd*
yn ol dy ffyrdd, a rhoddaf dy holl ffieidd-
dra arnat.
[c] Pen. 5. 11. a 8. 18. 4 [c] Fy llygad *hefyd* ni'th arbed di, ac ni
a 9. 10. thosturiaf: eithr rhoddaf dy ffyrdd arnat ti,
a'th ffieidd-dra fydd yn dy ganol di: [d] fel y
[d] Pen. 6. 7. a 12. 20. gwypoch mai myfi *yw*'r ARGLWYDD.
5 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW;
Drwg, drwg unig, wele, a ddaeth.
6 Diwedd a ddaeth, daeth diwedd: y mae
† Heb. *yn dy erbyn.* yn gwylio † am danat; wele, efe a ddaeth.
7 [e] Daeth y boregwaith attat, preswylydd
y tir: [f] daeth yr amser, agos *yw* y dydd
[e] Adn. 10. terfysg, ac nid adsain mynyddoedd.
[f] Adn. 12. 8 Weithian ar fyrder y tywalltaf fy llid
arnat, ac y gorphenaf fy nig wrthyt: barn-
af di hefyd yn ol dy ffyrdd, a rhoddaf dy
holl ffieidd-dra arnat.
9 A'm llygad nid arbed, ac ni thostur-
iaf: rhoddaf arnat yn ol dy ffyrdd, a'th ffi-
eidd-dra a fydd yn dy ganol di; a [g] chewch [g] Adn. 4.
wybod mai myfi yr ARGLWYDD sydd yn
taro.
10 Wele'r dydd, wele *efe* yn dyfod: y
boregwaith a aeth allan; blodeuodd y wi-
alen, blagurodd balchder.
11 Cyfododd traha yn wialen drygioni:
ni *bydd un* o honynt, nac o'u ‡ lliaws, nac ‡ Neu, *terfysg.*
o'r eiddynt, [h] na galar drostynt. *ar.* Heb. *ter-*
12 Yr amser a ddaeth, y dydd a nesaodd: *fysg.*
na lawenyched y prynwr, ac na thristâed y
gwerthwr: canys *mae* digllonedd ar ei holl [h] Jer. 16. 5, 6.
liaws hi. Pen. 24. 16, 22.
13 Canys y gwerthydd ni ddychwel at yr
hyn a werthwyd, § er eu bod etto'n fyw: § Heb. *er bod eu bywyd etto ym mysg y byw.*
oblegid y weledigaeth *sydd* am ei holl li-
aws, *y rhai* ni ddychwelant: ac nid ymgryf-
hâ neb || yn anwiredd ei fuchedd.
14 Udganasant yr udgorn, i barottôi pawb: || Neu, *sydd â'i fuchedd yn ei anwiredd.*
etto nid â neb i'r rhyfel; am *fod* fy nig-
llonedd yn erbyn eu holl liaws.
15 [i] Y cleddyf *fydd* oddi allan, yr haint
hefyd a'r newyn o fewn: yr hwn *fyddo* yn [i] Deut. 32. 25.
y maes, a fydd farw gan gleddyf; a'r hwn
*a fyddo* yn y ddinas, newyn a haint a'i difa Galar. 1. 20.
ef.
16 ¶ Etto eu rhai dïangol hwy a ddï-
angant, ac ar y mynyddoedd y byddant
hwy i gyd fel colommennod y dyffryn yn
griddfan, bob un am ei anwiredd.
17 Yr holl [k] ddwylaw a laesant, a'r holl [k] Psal. 13. 7.
liniau a ant yn ddwfr. Jer. 6. 24.
18 [l] Ymwregysant hefyd mewn sach-li- [l] Esay 3. 24.
ain, ac arswyd a'u toa hwynt; a *bydd* cy- a 15. 2, 3. Jer. 48. 37.
wilydd ar bob wyneb, a moelni ar eu holl Amos 8. 10.
bennau hwynt.
19 Eu harian a daflant i'r heolydd, a'u
haur † a roir heibio: eu [m] harian na'u haur † Heb.
ni ddichon eu gwared hwynt yn nydd digter *a fydd yn neilltuaeth,* neu,
yr ARGLWYDD: eu henaid ni ddiwallant, *aflendid.*
a'u coluddion ni lanwant: o herwydd ‡ tram-
gwydd eu hanwiredd ydyw. [m] Diar. 11. 4.
20 ¶ A thegwch ei harddwch ef a osod- Seph. 1. 18.
odd efe yn rhagoriaeth: ond gwnaethant Eccl. 5. 8.
ynddo ddelwau eu ffieidd-dra *a'u* brynti: ‡ Neu,
am hynny y § rhoddais ef ym mhell oddi *eu hanwiredd yw eu tramgwydd.*
wrthynt.
21 Ac mi a'i rhoddaf yn llaw dïeithriaid
yn yspail, ac yn anrhaith i rai drygionus y § Neu, *gwneuthum ef yn beth aflan iddynt.*
tir; a hwy a'i halogant ef.
22 Troaf hefyd fy wyneb oddi wrthynt,
a halogant fy nirgelfa: ïe, || anrheithwŷr a
ddaw iddi, ac a'i halogant. || Neu, *yspeilwŷr.*
23 ¶ Gwna gadwyn; canys llanwyd y
tir o farn waedlyd, a'r ddinas sydd lawn o
drais.
24 Am hynny y dygaf rai gwaethaf y
cenhedloedd, fel y meddiannont eu tai
hwynt: gwnaf hefyd i falchder y cedyrn
beidio; a'u cyssegroedd a † halogir. † Neu, *etifeddant.*
25 Y mae ‡ dinystr yn dyfod; a hwy a
geisiant heddwch, ac ni's *cânt.* ‡ Heb. *torriad.*
26 Daw [n] trychineb ar drychineb, a bydd
chwedl ar chwedl: yna [o] y ceisiant weled- [n] Jer. 4. 20.
igaeth gan y prophwyd; ond cyfraith a
gyll gan yr offeiriad, a chyngor gan yr hen- [o] Psal. 74. 9.
uriaid. Galar. 2. 9.
27 Y brenhin a alara, a'r tywysog a wisg-
ir ag anrhaith, a dwylaw pobl y tir a drallo-
dir: gwnaf â hwynt yn ol eu ffordd, ac â'u
barnedigaethau y barnaf hwynt; fel y gwy-
byddont mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

## PEN. VIII.

1 *Ezeciel, mewn gweledigaeth yn Jerusalem,* 5 *yn cael dangos iddo ddelw eiddigedd,* 7 *ac ystafelloedd y delwau,* 13 *a galarwŷr Tammus,* 15 *a'r rhai oedd yn addoli tu a'r haul.* 18 *Digofaint Duw am eu delwaddoliaeth hwy.*

594. ABu yn y chweched flwyddyn, yn y
chweched *mis*, ar y pummed *dydd* o'r
mis, a mi yn eistedd yn fy nhŷ, a henuriaid
[a] Pen. 1. 3. a 3. 22. Judah yn eistedd ger fy mron, [a] syrthio o
law'r ARGLWYDD DDUW arnaf yno.
[b] Pen. 1. 26, 27. 2 Yna'r edrychais, ac wele [b] gyffe-
lybrwydd fel gweledIad tân; o weledIad ei
lwynau ac isod, yn dân; ac o'i lwynau ac
[c] Pen. 1. 4. uchod, fel gweledIad disgleirdeb, [c] megis
lliw ambr.
[d] Dan. 5. 5. 3 Ac efe [d] a estynodd lun llaw, ac a'm
cymmerodd erbyn cudyn o'm pen: a
chododd yr yspryd fi rhwng y ddaear a'r
nefoedd, ac a'm dug i Jerusalem mewn
gweledigaethau DUW, hyd ddrws y porth
nesaf i mewn, yr hwn sydd yn edrych tu a'r
gogledd, lle *'r ydoedd* eisteddfa delw 'r eiddi-
gedd, yr hon a wna eiddigedd.
4 Ac wele yno ogoniant DUW Israel, fel
[e] Pen. 1. 3. a 3. 23. y weledigaeth [e] a welswn yn y gwastadedd.
5 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, Mab
dyn, cyfod yn awr dy lygaid *tu a* ffordd y
gogledd. Felly y cyfodais fy llygaid *tu a*
ffordd y gogledd; ac wele, tu a'r gogledd,
wrth borth yr allor, ddelw 'r eiddigedd hon
yn y cyntedd.
6 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Mab dyn,
a weli di beth y maent hwy yn ei wneuthur,
y ffieidd-dra mawr y mae tŷ Israel yn ei
wneuthur yma, i'm gyrru ym mhell oddi
wrth fy nghyssegr? ac etto dychwel, cei
weled ffieidd-dra mwy.
7 ¶ Ac efe a'm dug i ddrws y cyntedd; a
phan edrychais, wele dwll yn y pared.
8 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Mab dyn,
cloddia yn y pared: a phan gloddiais yn y
pared, wele ddrws.
9 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Dos i
mewn, ac edrych y ffieidd-dra drygionus
y maent hwy yn eu gwneuthur yma.
10 Felly mi a euthum, ac a edrychais; ac
wele bob llun ymlusgiad, ac anifail ffiaidd, a
holl eilunod tŷ Israel, wedi eu portreio ar y
pared o amgylch ogylch:
11 A dengwr a thrugain o henuriaid tŷ
Israel yn sefyll ar eu cyfer hwynt, a Jaaza-
nïah mab Saphan yn sefyll yn eu canol:
pob un a'i thusser yn ei law, a chwmmwl
tew o fwg-darth oedd yn dyrchafu.
12 Ac efe a ddywedodd wrthyf, A weli di,
fab dyn, yr hyn y mae henuriaid Israel yn
ei wneuthur yn y tywyllwch, bob un o fewn
[f] Pen. 9. 9. ei ddelw-gelloedd? canys dywedant, [f] Nid
yw 'r ARGLWYDD yn ein gweled; gadawodd
yr ARGLWYDD y ddaear.
13 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, Tro
etto, cei weled ffieidd-dra mwy, y rhai y
maent hwy yn eu gwneuthur.
14 Ac efe a'm dug i ddrws porth tŷ'r
ARGLWYDD, yr hwn *oedd* tu a'r gogledd,
ac wele yno wragedd yn eistedd yn wylo
am Tammuz.
15 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, A weli
di *hyn*, fab dyn? dychwel etto, cei weled
ffieidd-dra mwy nâ hyn.
16 Ac efe a'm dug i gyntedd tŷ'r AR-
GLWYDD oddi fewn, ac wele *wrth* ddrws
[g] Pen. 11. 1. teml yr ARGLWYDD, rhwng y porth a'r
allor, ynghylch [g] pumwr ar hugain, a'u
cefnau tu ag at deml yr ARGLWYDD, a'u
hwynebau tu a'r dwyrain; ac yr oeddynt
hwy yn ymgrymmu [h] i'r haul tu a'r dwy- [h] Deut. 4. 19. 2 Bren. 23 5, 11.
rain.
17 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, A weli Job 31. 26. Jer. 44. 17.
di *hyn*, fab dyn? † ai peth ysgafn gan dŷ
Judah wneuthur y ffieidd-dra a wnant yma? † Neu, *ai ysgafnach aim gan dŷ Judah nâ gwneuthur, &c.*
canys llanwasant y tir â thrais, a gwrth-
droisant i'm cyffrôi i; ac wele hwy yn gosod
blaguryn wrth eu trwyn.
18 Minnau hefyd a wnaf mewn llid:
[i] nid arbed fy llygad, ac ni thosturiaf: ac
er iddynt [k] lefain yn fy nghlustiau â llef [i] Pen. 5. 11. a 7. 4, 9 a 9. 5, 10.
uchel, ni wrandawaf hwynt.

[k] Diar. 1. 28. Esay 1. 15. Jer. 11. 11. a 14. 12. Mich. 3. 4. Zech. 7. 13.

## PEN. IX.

1 *Gweledigaeth yn dangos yr achubid rhai,* 5 *ac y distrywid y llaill.* 8 *Duw yn gwrthod gwrando eiriol drostynt.*

LLEFODD hefyd â llef uchel lle y cly- 594.
wais, gan ddywedyd, Gwnewch i swydd-
ogion y ddinas nesâu, a phob un a'i arf
dinystr yn ei law.
2 Ac wele chwech o wŷr yn dyfod o
ffordd y porth uchaf, yr hwn sydd yn
† edrych tu a'r gogledd, a phob un ‡ a'i † Heb. *wynebu.*
arf dinystr yn ei law: ac *yr oedd* un gwr
yn eu mysg hwynt wedi ei wisgo â llïain, ‡ Heb. *ag arf ei ddrylliad.*
a chorn du ysgrifenydd wrth ei § glun; a
hwy a aethant i mewn, ac a safasant wrth § Heb. *lwynau.*
yr allor bres.
3 A [a] gogoniant DUW Israel a gyfododd [a] Edrych Pen. 3. 23. a 8. 4. a 10. 4, 18. a 11. 22, 23.
oddi ar y cherub yr ydoedd efe arno, hyd
riniog y tŷ. Ac efe a lefodd ar y gwr oedd
wedi ei wisgo â llïain, yr hwn *yr oedd* corn
du ysgrifenydd wrth ei glun:
4 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrtho,
Dos trwy ganol y ddinas, trwy ganol Je-
rusalem, a [b] noda nôd ar dalcennau'r dyn- [b] Exod. 12. 7.
ion [c] sydd yn ucheneidio ac yn gweiddi Dat. 7. 3.
am y ffieidd-dra oll a wneir yn ei chanol [c] 2 Petr 2. 8.
hi.
5 ¶ Ac wrth y llaill y dywedodd efe
lle y clywais, Ewch trwy 'r ddinas ar ei ol
ef, a tharêwch; [d] nac arbeded eich llygad, [d] Adn. 10.
ac na thosturiwch.
6 [e] Lleddwch || yn farw yr henwr, y [e] 2 Chron. 36. 17.
gwr ieuangc, a'r forwyn, y plant hefyd a'r
gwragedd; ond na ddeuwch yn agos at || Heb. *i ddinystr.*
un gwr *y byddo*'r nôd arno: ac [f] ar fy [f] Jer. 25 29.
nghyssegr y dechreuwch. Yna y dechreu-
asant ar [g] y gwŷr hen, y rhai *oedd* o flaen [g] Pen. 8. 11, 16.
y tŷ.
7 Dywedodd wrthynt hefyd, Halogwch
y tŷ, a llenwch y cynteddoedd o rai lladd-
edig; ewch allan. Felly hwy a aethant
allan, ac a darawsant yn y ddinas.
8 ¶ A bu, a hwy yn lladd, a'm gado
innau, i mi syrthio ar fy wyneb, a gwaeddi,
a dywedyd, O ARGLWYDD DDUW, a ddi-
fetha di holl weddill Israel, wrth dywallt dy
lid ar Jerusalem?
9 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Anwir-
edd tŷ Israel a thŷ Judah *sydd* fawr dros † Heb. *llanwyd tir â gwaed.*
ben; a † llawn yw'r tir o waed, a llanwyd
y ddinas o ‡ gamwedd: o herwydd dy-
wedant, [h] Gwrthododd yr ARGLWYDD ‡ Neu, *wyro* barn.
y ddaear, ac nid yw'r ARGLWYDD yn
gweled.
10 Ac am danaf fi, [i] nid erbyd fy llygad, [h] Pen. 8. 12.
ac ni thosturiaf; rhoddaf eu ffordd eu hun
ar eu pennau. [i] Pen. 5. 11. a 7. 4. a 8. 18.
11 Ac wele, y gwr wedi ei wisgo â

lliain, yr hwn yr *oedd* y corn du wrth ei
glun, yn dwyn gair drachefn, gan ddy-
wedyd, Gwneuthum fel y gorchymynaist
i mi.

## PEN. X.

1 *Gweledigaeth y marwor tân a wasgerid dros y ddinas.* 8 *Gweledigaeth y cherubiaid.*

594. YNA 'r edrychais, ac wele yn [a] y ffurfa-
[a] Pen. 1. 22. fen, yr hon *oedd* uwch ben y cherubiaid,
[b] megis maen saphir, fel dull cyffelyb-
[b] Pen. 1. 26. rwydd gorseddfa, a welid arnynt hwy.
[c] Pen. 9. 2. 2 Ac efe a lefarodd wrth [c] y gwr a wisg-
asid â lliain, ac a ddywedodd, Dos i mewn
rhwng yr olwynion, hyd dan y cherub, a
† Heb. *geudeb dy ddwylaw.* llanw † dy ddwylaw o farwor tanllyd oddi
rhwng y cherubiaid, a thaena ar y ddinas.
Ac efe a aeth o flaen fy llygaid.
3 A'r cherubiaid oedd yn sefyll o du
dehau y tŷ, pan aeth y gwr i mewn; a'r
cwmmwl a lanwodd y cyntedd nesaf i
mewn.
[d] Edrych Pen. 9. 3. Adn. 18. 4 [d] Yna y cyfododd gogoniant yr AR-
GLWYDD oddi ar y cherub, *ac a safodd*
oddi ar riniog y tŷ; a'r tŷ a lanwyd â'r
cwmmwl, a llanwyd y cyntedd o ddis-
gleirdeb gogoniant yr ARGLWYDD.
[e] Pen. 1. 24. 5 A [e] swn adenydd y cherubiaid a gly-
buwyd hyd y cyntedd nesaf allan, fel swn
DUW Holl-alluog pan lefarai.
6 Bu hefyd, wedi iddo orchymyn i 'r gwr
a wisgasid â lliain, gan ddywedyd, Cymmer
dân oddi rhwng yr olwynion, oddi rhwng y
cherubiaid; fyned o hono ef, a sefyll wrth
yr olwynion.
‡ Heb. *un cherub a anfonodd allan â'i law.* 7 Yna'r ‡ estynodd *un* cherub ei law
oddi rhwng y cherubiaid i 'r tân yr hwn
*oedd* rhwng y cherubiaid, ac a gymmerth,
ac a roddodd *beth* yn nwylaw 'r *hwn a*
wisgasid â lliain: yntau a'i cymmerodd, ac
a aeth allan.
[f] Pen. 1. 8. 8 ¶ A [f] gwelid yn y cherubiaid lun llaw
dyn dan eu hadenydd.
[g] Pen. 1. 15. 9 Edrychais hefyd, ac wele [g] bedair
olwyn wrth y cherubiaid, un olwyn wrth
un cherub, ac un olwyn wrth cherub arall:
[h] Pen. 1. 16. a [h] gwelediad yr olwynion *oedd* fel lliw
maen beryl.
10 A'u gwelediad, un wedd oedd iddynt
ill pedair, fel pe byddai olwyn ynghanol
olwyn.
[i] Pen. 1. 17. 11 [i] Pan gerddent, ar eu pedwar ochr y
cerddent; ni throënt pan gerddent, ond lle 'r
edrychai 'r pen, y cerddent ar ei ol ef; ni
throënt pan gerddent.
§ Sef, *corph.* 12 Eu holl § gnawd hefyd, a'u cefnau,
a'u dwylaw, a'u hadenydd, a'r [k] olwynion
[k] Pen. 1. 18. *oedd* yn llawn llygaid oddi amgylch; *sef* yr
olwynion oedd iddynt ill pedwar.
‖ Neu, *A'r olwynion a alwyd lle y clywais i, Olwyn,* neu, *Galgal.* 13 ‖ Galwyd hefyd lle y clywais arnynt
hwy, *sef* ar yr olwynion, O olwyn.
14 A [l] phedwar wyneb *oedd* i bob un; yr
wyneb cyntaf yn wyneb cherub, a'r ail wyneb
yn wyneb dyn, a'r trydydd yn wyneb llew,
a'r pedwerydd yn wyneb eryr.
15 A'r cherubiaid a ymddyrchafasant.
[l] Pen. 1. 10. Dyma 'r [m] peth byw a welais wrth afon
[m] Pen. 1. 5. Chebar.
[n] Pen. 1. 19. 16 A [n] phan gerddai 'r cherubiaid, y
cerddai 'r olwynion wrthynt; a phan go-
dai 'r cherubiaid eu hadenydd i ymddyr-
chafu oddi ar y ddaear, yr olwynion hwy-
thau ni throënt chwaith oddi wrthynt.
[o] Pen. 1. 12, 20, 21. 17 Safent, pan safent hwythau; a chodent
gyd â hwy, pan godent hwythau; canys
† Neu, *bywyd.* [o] ysbryd † y peth byw *oedd* ynddynt.

18 Yna [p] gogoniant yr ARGLWYDD a aeth [p] Adn. 4.
allan oddi ar riniog y tŷ, ac a safodd ar y
cherubiaid.
19 [q] A'r cherubiaid a godasant eu haden- [q] Pen. 11. 22.
ydd, ac a ymddyrchafasant oddi ar y ddaear
o flaen fy llygaid: a'r olwynion *oedd* yn eu
hymyl, pan aethant allan: a safodd *pob un*
wrth ddrws porth y dwyrain i dŷ 'r AR-
GLWYDD; a gogoniant DUW Israel *oedd*
arnynt oddi arnodd.
20 Dyma 'r peth byw a welais dan DDUW
Israel, wrth afon Chebar: a gwybûm mai 'r
cherubiaid *oeddynt.*
21 Pedwar wyneb oedd i bob un, a phe-
dair aden i bob un, a chyffelybrwydd dwy-
law dyn dan eu hadenydd.
22 Cyffelybrwydd eu hwynebau *oedd* yr
un wynebau ag a welais wrth afon Chebar,
eu dull hwynt a hwythau: cerddent bob un
yn union rhag ei wyneb.

## PEN. XI.

1 *Rhyfyg y tywysogion.* 4 *Eu pechod a'u barnedigaeth.* 13 *Ezeciel yn cwyno, a Duw yn dangos iddo ei arfaeth wrth achub gweddill,* 21 *a chospi 'r annuwiol.* 22 *Gogoniant Duw yn gadael y ddinas.* 24 *Dychwelyd Ezeciel at y gaethglud.*

YNA y'm cyfododd yr yspryd, ac y'm 594.
dug hyd borth dwyrain tŷ 'r AR-
GLWYDD, yr hwn sydd yn edrych tu a'r
dwyrain: ac wele [a] bumwr ar hugain yn [a] Edrych
nrws y porth; *ac* yn eu mysg y gwelwn Jaa- Pen. 8. 16.
zaniah fab Azur, a Phelatïah fab Benaiah,
tywysogion y bobl.
2 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ha fab dyn,
dyma 'r gwŷr *sydd* yn dychymygu anwiredd,
ac yn cynghori drwg gyngor yn y ddinas
hon:
3 Y rhai a ddywedant, † Nid *yw* yn agos, † Neu, *Nid yw*
adeiladwn dai; [b] hi *yw* 'r crochan, a nin- *i ni adeiladu tai*
nau 'r cig. *yn agos.*
4 Am hynny prophwyda i'w herbyn Pen. 12. 22.
hwynt, prophwyda, fab dyn. 2 Petr 3. 4.
5 Yna y syrthiodd [c] yspryd yr AR- [b] Edrych
GLWYDD arnaf, ac a ddywedodd wrthyf, Jer. 1. 13.
Dywed; Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; [c] Pen. 2. 2.
Tŷ Israel, fel hyn y dywedasoch: canys
mi a wn y pethau sy 'n dyfod i'ch meddwl
chwi, bob un *o honynt.*
6 Amlhasoch eich lladdedigion o fewn y
ddinas hon, a llanwasoch ei heolydd hi â
chelaneddau.
7 Am hynny, fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD DDUW; [d] Eich lladdedigion, y [d] Pen. 24.
rhai a osodasoch yn ei chanol hi, *yw* 'r cig; 3, 6, 10, 11.
a hithau *yw* 'r crochan: chwithau a ddygaf Mich. 3. 3.
allan o'i chanol.
8 Y cleddyf a ofnasoch, a'r cleddyf a ddy-
gaf arnoch, medd yr ARGLWYDD DDUW.
9 Dygaf chwi hefyd allan o'i chanol hi, a
rhoddaf chwi yn llaw dïeithriaid, a gwnaf
farn yn eich mysg.
10 Ar y cleddyf y syrthiwch, ar derfyn
Israel y barnaf chwi; [e] fel y gwypoch mai [e] Pen. 6. 7.
myfi *yw* 'r ARGLWYDD. a 13. 9, 14,
11 *Y ddinas* hon ni bydd i chwi yn gro- 21, 23.
chan, ni byddwch chwithau yn gig o'i
mewn; *ond* ar derfyn Israel y barnaf chwi:
12 A [f] chewch wybod mai myfi *yw* 'r [f] Adn. 10.
ARGLWYDD: ‡ canys ni rodiasoch yn fy ‡ Neu,
neddfau, ac ni wnaethoch fy marnedig- *y rhai.*
aethau; ond yn ol defodau 'r cenhedloedd
o'ch amgylch y gwnaethoch.
13 ¶ A phan brophwydais, bu farw Pe-
latïah mab Benaiah: yna syrthiais ar fy

wyneb, a gwaeddais â llef uchel, a dywed-
ais, O ARGLWYDD DDUW, a wnai di drange
ar weddill Israel?
14 A daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan
ddywedyd,
15 Ha fab dyn, dy frodyr, dy frodyr,
dynion dy geraint, a holl dŷ Israel yn
gwbl, *ydyw* y rhai y dywedodd preswylwŷr
Jerusalem wrthynt, Ymbellhêwch oddi wrth
yr ARGLWYDD; i ni y rhodded y tir hwn yn
etifeddiaeth.
16 Dywed am hynny, Fel hyn y dywed
yr ARGLWYDD DDUW; Er gyrru o honof
hwynt ym mhell ym mysg y cenhedloedd,
ac er gwasgaru o honof hwynt trwy'r
[g] Psal. 90. 1. a 91. 9. Esay 8. 14. gwledydd, etto [g] byddaf yn gyssegr bychan
iddynt yn y gwledydd lle y deuant.
17 Dywed gan hynny, Fel hyn y dywed
yr ARGLWYDD DDUW; Casglaf chwi hefyd
o fysg y bobloedd, a chynhullaf chwi o'r
gwledydd y'ch gwasgarwyd ynddynt, a
rhoddaf i chwi dir Israel.
18 A hwy a ddeuant yno, ac a symmud-
ant ei holl frynti hi a'i holl ffieidd-dra allan
o honi hi.
[h] Jer. 32. 39. Pen. 36. 26, 27. 19 A [h] rhoddaf iddynt un galon, ac
[i] yspryd newydd a roddaf ynoch; tynnaf
hefyd [k] y galon garreg ymaith o'u cnawd
[i] Psal. 51. 10. hwynt, a rhoddaf iddynt galon gig:
20 Fel y rhodiont yn fy neddfau, ac y
[k] Zech. 7. 12. cadwont fy marnedigaethau, ac y gwnelont
hwynt: a hwy a fyddant yn bobl i mi, a
minnau a fyddaf DDUW iddynt hwy.
21 Ond *am y rhai* y mae eu calon yn my-
ned ar ol meddwl eu brynti a'u ffieidd-dra,
[l] Pen. 9. 10. [l] rhoddaf eu ffordd hwynt ar eu pennau eu
hun, medd yr ARGLWYDD DDUW.
22 ¶ Yna'r cherubiaid a gyfodasant eu ha-
denydd, a'r olwynion yn eu hymyl, a gogo-
niant Duw Israel *oedd* arnynt oddi arnodd.
23 A gogoniant yr ARGLWYDD a ym-
ddyrchafodd oddi ar ganol y ddinas, ac a
[m] Edrych Zech. 14. 4. safodd [m] ar y mynydd *sydd* o'r tu dwyrain
i'r ddinas.
24 ¶ Yna'r yspryd a'm cododd i, ac a'm
dug hyd Caldea at y gaethglud mewn gwe-
ledigaeth trwy yspryd Duw. A'r weledig-
aeth a welswn a ddyrchafodd oddi wrthyf.
25 Yna y lleferais wrth y rhai o'r gaeth-
glud holl eiriau'r ARGLWYDD, y rhai a
ddangosasai efe i mi.

## PEN. XII.

1 *Rhith ac arwydd symmudiad Ezeciel,* 8 *yn dangos caethiwed Sedecïah.* 17 *Dychryn Ezeciel yn dangos anghyfannedd-dra'r Iuddewon.* 21 *Beio ar rufygus ddïareb yr Iuddewon.* 26 *Ebrwydded y weledigaeth.*

594. A Gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf,
gan ddywedyd,
2 Trigo'r wyt ti, fab dyn, ynghanol
[a] Pen. 2. 3, 6, 7, 8. a 3. 26, 27. [a] tŷ gwrthryfelgar, y rhai [b] *y mae* llygaid
iddynt i weled, ac ni welant; clustiau idd-
[b] Esay 6. 9. a 42. 20. Jer. 5. 21. Mat. 13. 12, 13. ynt i glywed, ac ni chlywant: canys tŷ
gwrthryfelgar *ydynt.*
3 A thithau, fab dyn, gwna it' † offer
caethglud, a muda liw dydd o flaen eu
llygaid hwynt; ïe, muda o'th le dy hun i
† Neu, ddodrefn. le arall yngŵydd eu llygaid hwynt: nid
hwyrach y gwelant, er eu *bod* yn dŷ
gwrthryfelgar.
4 A dwg allan dy ddodrefn liw dydd yng-
‡ Heb. mynediad o gaethiwed. ŵydd eu llygaid, fel dodrefn caethglud: a
dos allan yn yr hwyr yngŵydd eu llygaid,
fel ‡ rhai yn myned allan i gaethglud.
5 Cloddia i ti o flaen eu llygaid hwynt
trwy'r mur, a dwg allan trwy hwnnw.
6 Ar *dy* ysgwydd y dygi yngŵydd eu
llygaid hwynt, yn y tywyll y dygi allan: dy
wyneb a guddi, fel na welech y ddaear:
canys *yn* arwydd y'th roddais i dŷ Israel.
7 Ac mi a wnaethum felly fel y'm
gorchymynnwyd: dygais fy offer allan liw
dydd, fel offer caethglud; ac yn yr hwyr y
cloddiais trwy'r mur â'm llaw: yn y tywyll
y dygais allan, ar *fy* ysgwydd y dygais o
flaen eu llygaid hwynt.
8 ¶ A'r bore y daeth gair yr AR-
GLWYDD attaf, gan ddywedyd,
9 Ha fab dyn, oni ddywedodd tŷ Israel,
y tŷ gwrthryfelgar, wrthyt, Beth yr wyt ti
yn ei wneuthur?
10 Dywed di wrthynt, Fel hyn y dywed
yr ARGLWYDD DDUW, I'r tywysog yn Je-
rusalem *y mae*'r baich hwn, ac i holl dŷ
Israel y rhai *sydd* yn eu mysg.
11 Dywed, Eich arwydd chwi *ydwyf* fi:
fel y gwnaethum i, felly y gwneir iddynt
hwy: mewn caethglud yr ant i gaeth-
iwed.
12 A'r [c] tywysog yr hwn *sydd* yn eu [c] Jer. 39. 4.
canol a ddwg ar *ei* ysgwydd yn y tywyll,
ac a â allan: cloddiant trwy'r mur, i ddwyn
allan trwyddo: ei wyneb a guddia fel na
welo efe y ddaear â'*i* lygaid.
13 A mi a daenaf fy [d] rhwyd arno ef, fel [d] Pen. 17. 20.
y dalier ef yn fy rhwyd: a [e] dygaf ef i Ba-
bilon, tir y Caldeaid; ac ni wêl efe hi, etto [e] 2 Bren. 25. 7.
yno y bydd efe marw.
14 A [f] gwasgaraf yr holl rai *sydd* yn ei [f] 2 Bren. 25. 4, 5. Pen. 5. 10.
gylch ef i'w gynnorthwyo, a'i holl fyddin-
oedd, tu a phob gwynt; a [g] thynnaf gleddyf [g] Pen. 5. 2. 12.
ar eu hol hwynt.
15 A hwy a gânt wybod mai myfi *yw*
yr ARGLWYDD, wedi gwasgaru o honof
hwynt ym mysg y cenhedloedd, a'u taenu
ar hŷd y gwledydd.
16 Etto gweddillaf o honynt § ychydig § Heb. *ddynion rhif.*
ddynion oddi wrth y cleddyf, oddi wrth y
newyn, ac oddi wrth yr haint; fel y myneg-
ont eu holl ffieidd-dra ym mysg y cen-
hedloedd, lle y delont: a gwybyddant mai
myfi *yw* yr ARGLWYDD.
17 ¶ Gair yr ARGLWYDD hefyd a ddaeth
attaf, gan ddywedyd,
18 Ha fab dyn, [h] bwyttêi dy fara dan [h] Pen. 4. 16.
grynu, a'th ddwfr a yfi mewn dychryn a
gofal:
19 A dywed wrth bobl y tir, Fel hyn y
dywed yr ARGLWYDD DDUW am drigolion
Jerusalem, *ac* am wlad Israel, Eu bara a
fwyttânt mewn gofal, a'u dwfr a yfant
mewn syndod, fel yr anrheithir ei thir o'i
chyflawnder, am drais y rhai oll a drigant
ynddi.
20 A'r dinasoedd cyfanneddol a anghyf-
anneddir, a'r tir a fydd anrheithiol; felly
y gwybyddwch mai myfi *yw* yr AR-
GLWYDD.
21 ¶ A daeth gair yr ARGLWYDD attaf,
gan ddywedyd,
22 Ha fab dyn, beth *yw*'r ddïareb hon
gennych am dir Israel, [i] gan ddywedyd, Y [i] Pen. 11. 3.
dyddiau a estynwyd, a darfu am bob Adn. 27.
gweledigaeth? Amos 6. 3.
23 Am hynny dywed wrthynt, Fel hyn 2 Petr 3. 4.
y dywed yr ARGLWYDD DDUW, Gwnaf
i'r ddïareb hon beidio, fel nad arferont
hi yn ddïareb mwy yn Israel: ond dywed
wrthynt, Y dyddiau sydd agos, a sylwedd
pob gweledigaeth.

[k] Pen. 13. 23.

24 Canys [k] ni bydd mwy un weledigaeth ofer, na dewiniaeth wenhieithus o fewn tŷ Israel.

25 Canys myfi *yw*'r ARGLWYDD: mi a lefaraf, a'r gair a lefarwyf a wneir; nid oedir ef mwy: o herwydd yn eich dyddiau chwi, O dŷ gwrthryfelgar, y dywedaf y gair, ac a'i gwnaf, medd yr ARGLWYDD DDUW.

26 ¶ A gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf, gan ddywedyd,

[l] Adn. 22. [m] 2 Petr 3. 4.

27 [l] Ha fab dyn, wele dŷ Israel yn dywedyd, Y weledigaeth a wêl efe *fydd* [m] wedi dyddiau lawer, a prophwydo y mae efe am amseroedd pell.

28 Am hynny dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Nid oedir dim o'm geiriau mwy, ond y gair a ddywedais a wneir, medd yr ARGLWYDD DDUW.

## PEN. XIII.

Awst 17. B. Sul 16 ar ol y Drindod, P.

1 *Argyoeddi prophwydi celwyddog,* 10 *a'u priddgalch heb dymheru.* 17 *Y prophwydesau a'u clustogau.*

594.

A Gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf, gan ddywedyd,

[a] Adn. 17. † Heb. *sy brophwydi.* [b] Jer. 14. 14. a 23. 16.

2 Prophwyda, fab dyn, yn erbyn prophwydi Israel, y rhai sydd yn prophwydo, a dywed wrth [a] y rhai † a brophwydant o'u [b] calon eu hun, Gwrandêwch air yr ARGLWYDD.

‡ Neu, *a pheth au ni's gwelsant.*

3 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Gwae'r prophwydi ynfyd, y rhai a rodiant yn ol eu hyspryd eu hun, ‡ ac heb weled *dim.*

[c] Can. 2. 15.

4 Dy brophwydi, Israel, ydynt fel [c] llwynogod yn yr anialwch.

[d] Psal. 106. 23, 30. Pen. 22. 30. § Heb. *y rhwygiadau.*

5 [d] Ni safasoch yn § yr adwyau, ac ni chauasoch y cae i dŷ Israel, i sefyll yn y rhyfel ar ddydd yr ARGLWYDD.

[e] Pen. 12. 24. Adn. 23.

6 [e] Gwagedd a gau-ddewiniaeth a welsant, y rhai a ddywedant, Dywedodd yr ARGLWYDD; a'r ARGLWYDD heb eu hanfon hwynt: a pharasant i *eraill* ddisgwyl am gyflawni 'r gair.

7 Onid ofer weledigaeth a welsoch, a gau-ddewiniaeth a draethasoch, pan ddywedasoch, Yr ARGLWYDD a ddywedodd; a minnau heb ddywedyd?

8 Am hynny, fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW, Am lefaru o honoch wagedd, a gweled o honoch gelwydd; am hynny wele fi i'ch erbyn, medd yr ARGLWYDD DDUW.

‖ Neu, *ynghynnulleidfa.* [f] Pen. 11. 10, 12.

9 A bydd fy llaw yn erbyn y prophwydi sydd yn gweled gwagedd, ac yn dewinio celwydd; ‖ ynghyfrinach fy mhobl ni byddant, ac o fewn ysgrifen tŷ Israel ni ysgrifenir hwynt, i dir Israel hefyd ni ddeuant; a [f] gwybyddwch mai myfi *yw* yr ARGLWYDD DDUW.

[g] Jer. 6. 14. a 8. 11. † Neu, *bared salw.* [h] Pen. 22. 28.

10 ¶ O achos, ie, o achos hudo o honynt fy mhobl, gan ddywedyd, [g] Heddwch; ac nid *oedd* heddwch; un a adeiladai † bared, ac wele eraill [h] yn ei briddo â *chlai* heb ei dymheru.

11 Dywed wrth y rhai a'i priddant â *phridd* rhydd, y syrth efe: canys cur-wlaw a fydd, a chwithau gerrig cenllysg a syrthiwch; a gwynt tymhestlog a'i rhwyga.

12 Wele, pan syrthio 'r pared, oni ddywedir wrthych, *Mae* 'r clai â'r hwn y priddasoch *ef?*

13 Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW, Minnau a'i rhwygaf â gwynt tymhestlog yn fy llid; a chur-wlaw fydd yn fy nig, a cherrig cenllysg yn *fy* llidiowgrwydd, i'w ddifetha.

[i] Adn. 9, 21, 23. Pen. 14. 8.

14 Felly y bwriaf i lawr y pared a briddasoch â *phridd* heb ei dymheru, ac a'i tynnaf hyd lawr, fel y dinoether ei sylfaen, ac efe a syrth, a chwithau a ddifethir yn ei ganol ef; a [i] chewch wybod mai myfi *yw* 'r ARGLWYDD.

15 Fel hyn y gorphenaf fy llid ar y pared, ac ar y rhai a'i priddasant â *phridd* heb dymheru, a dywedaf wrthych, Y pared nid *yw,* na'r rhai a'i priddasant:

16 *Sef* prophwydi Israel, y rhai a brophwydant am Jerusalem, ac a welant iddi weledigaethau heddwch, ac nid *oes* heddwch, medd yr ARGLWYDD DDUW.

[k] Adn. 2.

17 ¶ Tithau fab dyn, gosod dy wyneb yn erbyn merched dy bobl, [k] y rhai a brophwydant o'u calon eu hun; a phrophwyda yn eu herbyn hwynt,

‡ Neu, *gesailiau.*

18 A dywed, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Gwae'r gwniadyddesau clustogau dan holl ‡ benelinoedd fy mhobl, a'r rhai a weithiant foledau am ben pob corpholaeth, i hela eneidiau. Ai eneidiau fy mhobl a heliwch chwi, ac a gedwch chwi yn fyw yr eneidiau *a ddêl* attoch?

[l] Edrych Diar. 28. 21. Mich. 3. 5.

19 Ac a halogwch chwi fi ym mysg fy mhobl [l] er dyrneidiau o haidd, ac am dammeidiau o fara, i ladd yr eneidiau ni ddylent farw, a chadw yn fyw yr eneidiau ni ddylent fyw, gan ddywedyd o honoch gelwydd wrth fy mhobl, y rhai a wrandawent gelwydd?

§ Neu, *i erddi.*

20 Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Wele fi yn erbyn eich clustogau chwi, â'r rhai yr ydych yno yn hela eneidiau, § i beri *iddynt* ehedeg, a rhwygaf hwynt oddi wrth eich breichiau; a gollyngaf yr eneidiau, *sef* yr eneidiau yr ydych yn eu hela, i beri *iddynt* ehedeg.

[m] Adn. 9. [n] Jer. 23. 14.

21 Rhwygaf hefyd eich moledau chwi, a gwaredaf fy mhobl o'ch llaw, ac ni byddant mwy yn eich llaw chwi yn helfa; a [m] chewch wybod mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

‖ Neu, *fel yr achubwn ei einioes.* Heb. *i'w fywhâu.*

22 Am dristâu calon y cyfiawn trwy gelwydd, a minnau heb ei ofidio ef; ac [n] am gadarnhâu dwylaw'r annuwiol, fel na ddychwelai o'i ffordd ddrygionus, ‖ trwy addo iddo einioes.

[o] Pen. 12. 24. Adn. 6, &c. Mich. 3. 6. [p] Adn. 9. Pen. 14. 8. a 15. 7.

23 O herwydd hynny [o] ni welwch wagedd, ac ni ddewiniwch ddewiniaeth mwy; canys gwaredaf fy mhobl o'ch llaw chwi; a [p] chewch wybod mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

## PEN. XIV.

Awst 17. P. Sul 17 ar ol y Drindod, B.

1 *Duw yn atteb delw-addolwŷr yn ol meddwl eu calon eu hun.* 6 *Eu hannog hwy i edifarhâu, rhag ofn barnedigaethau, o herwydd gau-brophwydi.* 12 *Sicr farn Duw ar ddanfon newyn,* 15 *a bwystfilod niweidiol,* 17 *a chleddyf,* 19 *a haint y nodau.* 22 *Gweddill a achubir, er esampl i eraill.*

594. [a] Pen. 20. 1.

YNA [a] y daeth attaf wŷr o henuriaid Israel, ac a eisteddasant o'm blaen.

2 A daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan ddywedyd,

3 Y gwŷr hyn, O fab dyn, a ddyrchafasant eu heilunod yn eu calonnau, ac a roddasant dramgwydd eu hanwiredd ar gyfer eu hwynebau: gan ymofyn a ymofyn y cyfryw â myfi?

4 Am hynny ymddiddan â hwynt, a dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Pob un o dŷ Israel, yr hwn a ddyrchafo ei eilunod yn ei galon, ac a osodo dramgwydd ei anwiredd ar gyfer ei wyneb, ac a ddaw at y prophwyd; myfi

yr ARGLWYDD a attebaf yr hwn a ddelo yn
ol amlder ei eilunod,
5 I ddal tŷ Israel yn eu calonnau, am
iddynt ymddïeithrio oddi wrthyf oll trwy eu
heilunod.
6 ¶ Am hynny dywed wrth dŷ Israel,
Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW;
Trowch, a † dychwelwch oddi wrth eich
eilunod, a throwch eich wynebau oddi wrth
eich holl ffieidd-dra.

† Neu, *throwch* eraill.

7 Canys pob un o dŷ Israel, ac o'r dïeithr
a ymdeithio o fewn Israel, a ymneillduo
oddi ar fy ol i, ac a ddyrchafo ei eilunod
yn ei galon, ac a osodo dramgwydd ei an-
wiredd ar gyfer ei wyneb, ac a ddêl at bro-
phwyd i ymofyn â myfi trwyddo ef; my-
fi 'r ARGLWYDD a attebaf iddo trwof fy hun.
8 b Gosodaf hefyd fy wyneb yn erbyn y
gwr hwnnw, a gwnaf ef c yn arwydd ac yn
ddïareb, a thorraf ef ymaith o fysg fy
mhobl; d fel y gwypoch mai myfi *yw* yr
ARGLWYDD.

b Lef. 17. 10. Pen. 15. 7.
c Deut. 28. 37. Pen. 5. 15.
d Pen. 6. 7.

9 Ac os twyllir y prophwyd pan lefaro air,
e myfi 'r ARGLWYDD a dwyllodd y pro-
phwyd hwnnw; a mi a estynaf *hefyd* fy llaw
arno ef, ac a'i difethaf o fysg fy mhobl
Israel.

e 1 Bren. 22. 23. Job 12. 16. Jer. 4. 10. 2 Thess. 2. 11.

10 A hwy a ddygant eu hanwiredd: un
fath fydd anwiredd yr ymofynydd ag anwi-
redd y prophwyd:
11 Fel na chyfeiliorno tŷ Israel mwy oddi
ar fy ol, ac na haloger hwy mwy â'u holl
droseddau; ond bod o honynt i mi yn bobl,
a minnau iddynt hwy yn DDUW, medd yr
Arglwydd DDUW.
12 ¶ A gair yr ARGLWYDD a ddaeth
attaf drachefn, gan ddywedyd,
13 Ha fab dyn, pan becho gwlad i'm her-
byn trwy wneuthur camwedd, yna'r estyn-
af fy llaw arni, a thorraf f ffon ei bara hi, ac
anfonaf arni newyn, ac a dorraf ymaith o
honi ddyn ac anifail.

f Lef. 26. 26. Esay 3. 1. Pen. 4. 16. a 5. 16.

14 g Pe byddai yn ei chanol y tri gŵr hyn,
Noah, Daniel, a Job, hwynt-hwy yn eu cyf-
iawnder a achubent eu henaid eu hun *yn
unig*, medd yr ARGLWYDD DDUW.

g Jer. 15. 1. Edrych Jer. 7. 16. a 11. 14. a 14. 11.

15 ¶ Os bwystfil niweidiol a yrraf trwy'r
wlad, a'i ‡ difa o hwnnw, fel y byddo yn
anghyfannedd, heb gynniweirydd rhag ofn
y bwystfil:

‡ Neu, *difuddio.*

16 *Pe byddai*'r tri gŵr hyn yn ei chanol,
*fel mai* byw fi, medd yr ARGLWYDD DDUW,
ni waredent na meibion na merched; hwynt-
hwy yn unig a waredid, a'r tir a fyddai yn
anghyfannedd.
17 ¶ Neu *os* cleddyf a ddygaf ar y tir
hwnnw, a dywedyd o honof, Cynniwair,
gleddyf, trwy'r tir; fel y torrwyf ymaith o
hono ddyn ac anifail:
18 A'r tri gŵr hyn yn ei ganol, *fel mai*
byw fi, medd yr ARGLWYDD DDUW, ni
achubent na meibion na merched, ond
hwynt-hwy yn unig a achubid.
19 ¶ Neu *os* haint a anfonaf i'r wlad hon-
no, a thywallt o honof fy llid arni mewn
gwaed, gan dorri ymaith o honi ddyn ac ani-
fail;
20 A Noah, Daniel, a Job, yn ei chanol
hi; *fel mai* byw fi, medd yr ARGLWYDD
DDUW, ni waredent na mab na merch;
hwynt-hwy yn eu cyfiawnder a waredent eu
heneidiau eu hun *yn unig.*
21 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
DDUW; § Pa faint mwy pan anfonwyf
fy mhedair drygfarn, cleddyf, a newyn,
a bwystfil niweidiol, a haint, ar Jerusa-

§ Neu, *Hefyd pan anfonwyf.*

lem, i dorri ymaith o honi ddyn ac ani-
fail?
22 ¶ Etto wele, bydd ynddi weddill dï-
angol, y rhai a ddygir allan, yn feibion a
merched: wele hwynt yn dyfod allan at-
toch, a chewch weled eu ffyrdd hwynt a'u
gweithredoedd; fel yr ymgysuroch o her-
wydd yr adfyd a ddygais ar Jerusalem, *sef*
yr hyn oll a ddygais arni.
23 Ië, cysurant chwi, pan weloch eu
ffordd a'u gweithredoedd: a chewch wy-
bod nad heb achos y gwneuthum yr hyn oll
a wneuthum i'w herbyn hi, medd yr AR-
GLWYDD DDUW.

## PEN. XV.

*2 Trwy ddangos mor anghymmwys i wneuthur defnydd o honi ydyw'r winwŷdden, 6 y dangosir y llysid ac y gwrthodid Jerusalem.*

A Gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf, 594.
gan ddywedyd,
2 Ha fab dyn, beth yw coed y winwŷdd-
en *fwy* nâ phob coed *arall, neu* gaingc yr
hon sydd ym mysg preniau'r coed?
3 A gymmerir o honi goed i wneuthur
gwaith? a gymmerant o honi hoel i grogi
un offeryn arni?
4 Wele, a yn ymborth i'r tân y rhoddir
hi; difaodd y tân ei deuben hi, ei chanol
a olosgwyd: a † wasanaetha hi mewn gwaith?

a Ioan 15. 6.
† Heb. *lwydda, neu, dycia.*

5 Wele, pan oedd gyfan, ‡ nid oedd
gymmwys i ddim gwaith: pa faint lai, gan
ei difa o dân a'i golosgi, y bydd hi etto
gymmwys i waith?

‡ Heb. *ni weithid hi mewn gwaith,* &c.

6 ¶ Am hynny fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd DDUW; Megis pren y winwŷdden
ym mysg preniau'r coed, yr hon a roddais
yn ymborth i'r tân, felly y rhoddaf drig-
olion Jerusalem.
7 A b gosodaf fy wyneb yn eu herbyn
hwynt: o'r *naill* dân y deuant allan, a thân
*arall* a'u difa hwynt; c fel y gwypoch mai
myfi *yw*'r ARGLWYDD, pan osodwyf fy wy-
neb i'w herbyn hwynt.

b Lef. 17. 10. Pen. 14. 8.
c Pen. 6. 7. a 7. 4. a 20. 38, 42, 44.

8 Gwnaf hefyd y wlad yn anrhaith, am
§ wneuthur o honynt gamwedd, medd yr
ARGLWYDD DDUW.

§ Heb. *gamweddu.*

## PEN. XVI.

*1 Trwy gyffelybrwydd o ddyn bach mewn gofidus gyflwr, y dangosir cyflwr naturiol Jerusalem. 6 Anfeidrol gariad Duw tu ag atti hi: 15 a'i hanferth butteindra hithau; 35 a'i barn dost. 44 Bod ei phechod hi yn gymmaint a'r eiddo ei mam, ac yn fwy nâ'r eiddo ei chwïorydd Sodom a Gomorrah; ac am hynny yn galw am farnedigaethau. 60 Addaw trugaredd iddi yn y diwedd.*

A Daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan 594.
ddywedyd,
2 Ha fab dyn, gwna i Jerusalem adnabod
ei ffieidd-dra,
3 A dywed, Fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD DDUW wrth Jerusalem; Dy
† drigfa a'th enedigaeth *sydd* o wlad Canaan:
a dy dad *oedd* Amoriad, a'th fam yn Hittees.
4 Ac *am* dy enedigaeth, ar b y dydd y'th
anwyd ni thorrwyd dy fogail, ac mewn
dwfr ni'th olchwyd ‡ i'*th* feddalhâu; ni'th
gyweiriwyd chwaith â halen, ac ni'th
rwymmwyd â rhwymyn.

† Neu, *dorriad, neu, gychwyniad.*
a Adn. 45.
b Hos. 2. 3.
‡ Neu, *pan edrychais arnat.*

5 Ni thosturiodd llygad wrthyt, i wneu-
thur it' un o hyn, i dosturio wrthyt; ond ar
wyneb y maes y'th daflwyd, i ffieiddio dy
einioes, ar y dydd y'th aned.

6 ¶ A phan dramwyais heibio it', a'th
† Neu, [illegible] weled † yn ymdrybaeddu yn dy waed, dy-
wedais wrthyt yn dy waed, Bydd fyw; ie,
dywedais wrthyt yn dy waed, Bydd fyw.
7 c Yn fyrddiwn y'th wneuthum fel
c Exod. 1. 7. gwellt y maes, a thi a gynyddaist ac a
aethost yn fawr, ac a ddaethost i ‡ hardd-
‡ Heb. addurn addurnau. wch godidog: dy fronnau a chwyddasant,
a'th wallt a dyfodd, a thi yn llom ac yn
noeth o'r blaen.
8 Pan euthum heibio it', ac edrych arnat,
wele dy amser yn amser serchowgrwydd:
d Ruth 3. 9. yna d lledais fy adain drosot, a chuddiais dy
noethni: tyngais hefyd it', ac euthum mewn
cyfammod â thi, medd yr ARGLWYDD
DDUW, a thi a aethost yn eiddof fi.
9 Yna mi a'th olchais â dwfr; ie, golchais
dy waed oddi wrthyt, ac irais di ag olew.
10 Mi a'th wisgais hefyd â gwaith edau a
nodwydd, rhoddais it' hefyd esgidiau o
groen daear-foch, a gwregysais di â lliain
main, a gorchuddiais di â sidan.
11 Mi a'th herddais hefyd â harddwch,
e Gen. 24. 22, 47. a e rhoddais freichledau am dy ddwylaw, a
chadwyn am dy wddf.
f Edrych Esay 3. 21. 12 Rhoddais hefyd dlws ar dy f dalcen,
a thlysau wrth dy glustiau, a choron hardd
am dy ben.
13 Felly y'th harddwyd ag aur ac arian;
a'th wisg oedd liain main, a sidan, a gwaith
edau a nodwydd; peilliaid, a mel, ac olew
a fwytteit: teg hefyd odiaeth oeddit, a ffyn-
naist yn frenhiniaeth.
14 Aeth allan hefyd it' enw ym mysg y
cenhedloedd, am dy degwch: canys cyf-
lawn oedd gan fy harddwch yr hwn a osod-
aswn arnat, medd yr ARGLWYDD DDUW.
15 ¶ Ond ti a ymddiriedaist i'th deg-
g Esay 57. [illegible] wch, a g phutteiniaist o herwydd dy enw, a
thywelltaist dy butteindra ar bob cynni-
weirydd; eiddo ef ydoedd.
Pen. 23. 3. 16 h Cymmeraist hefyd o'th ddillad, a
gwnaethost it' uchelfeydd brithion, a phut-
h Pen. 7. [illegible] teiniaist arnynt: y fath ni ddaw, ac ni bydd
felly.
17 A chymmeraist offer dy harddwch
o'm haur ac o'm harian i, y rhai a rodd-
§ Heb. [illegible] aswn i ti, a gwnaethost it' ddelwau § gwŷr,
a phutteiniaist gyd â hwynt.
18 Cymmeraist hefyd dy wisgoedd o waith
edau a nodwydd, ac a'u gwisgaist hwynt: fy
olew hefyd a'm harogl-darth a roddaist o'u
blaen hwynt.
19 Felly fy mwyd yr hwn a roddaswn i ti,
yn beilliaid, ac yn olew, ac yn fêl, â'r rhai
y'th borthaswn di; rhoddaist hynny hefyd
‖ Heb. gorphwysdra. o'u blaen hwynt yn arogl ‖ peraidd: fel
hyn y bu, medd yr ARGLWYDD DDUW.
20 Cymmeraist hefyd dy feibion a'th
i 2 Bren. 16. 3. ferched, y rhai a blantasit i mi; i y rhai hyn
Psal. 106. 37. a aberthaist iddynt i'w bwytta. Ai bychan
hyn o'th butteindra di,
Esay 57. 5. 21 Ladd o honot fy mhlant, a'u rhoddi
Pen. 20. 26. a 37. 23. hwynt i'w tynnu trwy'r tân iddynt?
22 Ac yn dy holl ffieidd-dra a'th buttein-
k Hos. 11. 1. dra ni chofiaist ddyddiau dy k ieuengctid,
pan oeddit lom a noeth, a'th fod yn ym-
drybaeddu yn dy waed.
23 A bu ar ol dy holl ddrygioni (Gwae,
gwae it', medd yr ARGLWYDD DDUW)
l Adn. 31. 24 l Adeiladu o honot it' uchelfa, a
m Esay 57. 5, 7. m gwneuthur it' † uchelfa ym mhob heol.
Jer. 2. 20. 25 Ym mhen pob ffordd yr adeiledaist dy
† Neu, butteindy. uchelfa, a gwnaethost dy degwch yn ffiaidd,
ac a ledaist dy draed i bob cynniweirydd,
ac amlheaist dy butteindra.

26 Putteiniaist hefyd n gyd â meibion yr n Pen. 8. 10, 14. a 23.
Aipht dy gymmydogion, mawr eu cnawd; 19, 20
ac a amlheaist dy butteindra, i'm digio i.
27 Am hynny wele, estynais fy llaw ar-
nat, a phrinheais dy ran, a rhoddais di wrth
ewyllys dy gaseion, o ‡ merched y Phili- o 2 Chron. 28. 18.
stiaid, y rhai sydd gywilydd ganddynt dy Adn. 57.
ffordd ysgeler. ‡ Neu, [illegible]
28 p Putteiniaist hefyd gyd â meibion As-
sur, o eisiau cael dy ddigon: a hefyd wedi p 2 Bren.
putteinio gyd â hwynt, ni'th ddigonwyd. 16. 7, 10.
29 Amlheaist hefyd dy butteindra yng- 2 Chron. 28. 23.
wlad Canaan hyd Caldea; ac etto ni'th ddi- Jer. 2. 18,
gonwyd â hyn. 36.
30 Mor llesg yw dy galon, medd yr AR- Pen. 23. 12, &c.
GLWYDD DDUW, gan it' wneuthur hyn oll, § Neu,
sef gwaith putteinwraig yn llywodraethu! Yn dy
31 § Pan q adeiledaist dy uchelfa ym mhen ferched y
pob ffordd, ac y gwnaethost dy uchelfa ym [illegible] dy
mhob heol; ac nid oeddit fel puttain, gan uchelfa. q Adn. 24,
dy fod yn dirmygu gwobr; 39.
32 Ond fel gwraig a dorrai ei phriodas,
ac a gymmerai ddieithriaid yn lle ei gwr.
33 I bob puttain y rhoddant wobr; ond
r tydi a roddi dy wobr i'th holl gariadau, ac r Esay 30. 6.
a'u gobrwyi hwynt i ddyfod attat oddi am- Hos. 8. 9.
gylch i'th butteindra.
34 Ac ynot ti y mae'r gwrthwyneb i
wragedd eraill yn dy butteindra, gan na
phutteiniodd neb ar dy ol di: canys lle y
rhoddi wobr, ac na roddir gwobr it', yna'r
wyt yn y gwrthwyneb.
35 ¶ Gan hynny, O buttain, clyw air yr
ARGLWYDD:
36 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
DDUW; Am dywallt dy frynti, a datgudd-
io dy noethni trwy dy butteindra gyd â'th
gariadau, a chyd â holl eilunod dy ffieidd-
dra, a thrwy waed dy feibion y rhai a rodd-
aist iddynt;
37 Am hynny wele s fi yn casglu dy holl s Jer. 13.
gariadau gyd â'r rhai yr ymddigrifaist, a'r 22, 26.
rhai oll a geraist, gyd â'r rhai oll a gase- Galar. 1. 8.
aist; ie, casglaf hwynt i'th erbyn oddi am- Pen. 23. 29.
gylch, ac a ddinoethaf dy noethni iddynt, Hos. 2. 10.
fel y gwelont dy holl noethni. a 8. 10.
38 Barnaf di hefyd ‖ â barnedigaethau ‖ Neu, fel barnu.
t putteiniaid, a'r rhai a dywalltant waed; a t Lef. 20.
rhoddaf i ti waed mewn llidiowgrwydd ac 10.
eiddigedd. Deut. 22.
39 Ie, rhoddaf di yn eu dwylaw hwynt, a 22.
hwy a ddinystriant u dy uchelfa, ac a fwr- u Adn. 24,
iant i lawr dy uchel-leoedd: diosgant di 31.
hefyd o'th ddillad, a chymmerant ddodrefn
dy harddwch, ac a'th adawant yn llom ac
yn noeth.
40 Dygant hefyd dyrfa i'th erbyn, ac a'th
labyddiant â meini, ac â'u cleddyfau y'th
drywanant.
41 x Llosgant hefyd dy dai â thân, a x 2 Bren.
gwnant arnat farnedigaethau yngolwg 25. 9.
gwragedd lawer: a mi a wnaf it' beidio â Jer. 39. 8.
phutteinio, a hefyd ni roddi wobr mwy. a 52. 13.
42 Felly y llonyddaf fy llid i'th erbyn, a
symmud fy eiddigedd oddi wrthyt; mi a
lonyddaf hefyd, ac ni ddigiaf mwy.
43 Am na chofiaist ddyddiau dy ieuengc-
tid, ond annogaist fi i lid yn hyn oll; am
hynny wele, y myfi a roddaf dy ffordd ar dy y Pen. 9. 10.
ben, medd yr ARGLWYDD DDUW: fel na a 11. 21. a
wnelech yr ysgelerder hyn am ben dy holl 22. 31.
ffieidd-dra.
44 ¶ Wele, pob dïarhebydd a ddïarheba
am danat, gan ddywedyd, Fel y fam y mae'r
ferch.
45 Merch dy fam, yr hon a ffieiddiodd ei

gwr a'i meibion, *ydwyt* ti; a chwaer dy
chwïorydd *ydwyt*, y rhai a ffieiddiasant eu
gwŷr a'u meibion, [y] eich mam *oedd* Hittees,
a'ch tad yn Amoriad.
46 A'th chwaer hynaf yw Samaria, hi a'i
merched, yn trigo ar dy law aswy: [z] a'th
chwaer † ieuangach nâ thi, yr hon sydd
yn trigo ar dy law ddehau, *yw* Sodom
a'i merched.
47 Etto ni rodiaist yn eu ffyrdd hwynt,
ac nid yn ol eu ffieidd-dra hwynt y gwnaeth-
ost: ‡ megis *pettai hynny* ychydig bach, ym-
lygraist yn fwy nâ hwy yn dy holl ffyrdd.
48 *Fel mai* byw fi, medd yr Arglwydd
Dduw, [a] ni wnaeth Sodom dy chwaer,
na hi na'i merched, fel y gwnaethost ti a'th
ferched.
49 Wele, hyn oedd anwiredd dy chwaer
Sodom, Balchder, [b] digonedd bara, ac
amlder o seguryd oedd ynddi ac yn ei
merched, ac ni chryfhaodd hi law 'r ang-
henog a'r tlawd.
50 A hwy a ymddyrchafasant, ac [c] a wnaeth-
ant ffieidd-dra o'm blaen i: am hynny [d] y
symmudais hwynt, fel y gwelais *yn dda*.
51 Samaria hefyd ni phechodd fel hanner
dy bechod di; ond tydi a amlheaist dy
ffieidd-dra yn fwy nâ hwynt, ac [e] a gyf-
iawnheaist dy chwïorydd yn dy holl ffieidd-
dra a wnaethost.
52 Tithau yr hon a fernaist ar dy chwï-
orydd, dwg dy waradwydd am dy bechodau
y rhai a wnaethost yn ffieiddiach nâ hwynt:
cyfiawnach ydynt nâ thi: cywilyddia di-
thau, a dwg dy waradwydd, gan gyfiawnhâu
o honot dy chwïorydd.
53 [f] Pan ddychwelwyf eu caethiwed
hwynt, [g] caethiwed Sodom a'i merched,
a chaethiwed Samaria a'i merched, yna *y
dychwelaf* gaethiwed dy gaethion dithau
a'th ferched yn eu canol hwynt:
54 Fel y dygech dy warth, ac y'th warad-
wydder, am yr hyn oll a wnaethost, gan
gysuro o honot hwynt.
55 Pan ddychwelo dy chwïorydd, So-
dom a'i merched, i'w hen gyflwr, a phan
ddychwelo Samaria a'i merched i'w hen
gyflwr, yna tithau a'th ferched a ddychwel-
wch i'ch hen gyflwr.
56 Canys § nid oedd mo 'r son am Sodom
dy chwaer yn dy enau yn nydd dy falchder:
57 Cyn datguddio dy ddrygioni, megis
*yn* amser *dy* [h] waradwydd gan ferched || Sy-
ria, a'r holl rai o'i hamgylch, merched y Phi-
listiaid, y rhai a'th † ddïystyrant o bobparth.
58 Dy 'sgelerder, a'th ffieidd-dra hefyd, [i] ti
a'u dygaist hwynt, medd yr Arglwydd.
59 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Felly y gwnaf â thi fel y gwnaeth-
ost, yr hon a ddïystyraist lw, i ddiddym-
mu 'r cyfammod.
60 ¶ Etto mi a gofiaf fy nghyfammod â
thi yn nyddiau dy ieuengctid, ac a sicrhâf
it' gyfammod tragywyddol.
61 Yna [k] y cofi dy ffyrdd, ac y cywilyddi,
pan dderbyniech dy chwïorydd hŷn nâ
thi, gyd â'r rhai ieuangach nâ thi: a rhodd-
af hwynt yn [l] ferched it'; [m] a *hynny* nid wrth
dy ammod di.
62 A mi a sicrhâf fy nghyfammod â thi;
a chei wybod mai myfi *yw*'r Arglwydd.
63 Fel y cofiech di, ac y cywilyddiech, ac
na byddo it' mwy agoryd safn gan dy warad-
wydd, pan ddyhudder fi tu ag attat, am yr
hyn oll a wnaethost, medd yr Arglwydd
Dduw.

[y] Adn. 3.
[z] Deut. 32. 32. Esay 1. 10.
† Heb. *lai nâ thi.*
‡ Neu, *alaethrwyd ar hynny, megis peth bychan.*
[a] Mat. 10. 15. a 11. 24.
[b] Gen. 13. 10.
[c] Gen 18. 20.
[d] Gen. 19. 24.
[e] Jer. 3. 11. Mat. 12. 41, 42.
[f] Edrych Esay 1. 9. Adn. 60.
[g] Jer. 20. 16.
§ Heb. *nid oedd dy chwaer Sodom yn chwedl, neu, yn son yn dy enau.*
[h] 2 Bren. 16. 5. 2 Chron. 28. 18. Esay 7. 1. a 14. 28.
|| Heb. *Aram.*
† Neu, *anrheithiant.*
[i] Pen. 23. 49.
[k] Pen. 20. 43.
[l] Esay 54. 1. a 60. 4. Galat. 4. 24, &c.
[m] Jer. 31. 31, &c.

## PEN. XVII.

1 *Trwy ddammeg o ddau eryr a gwin-wŷdden,*
11 *y dangosir barnedigaeth Duw ar Jeru-
salem, am droi oddi wrth Babilon at yr
Aipht.* 22 *Duw yn addaw plannu cedr-
wŷdden yr efengyl.*

A Gair yr Arglwydd a ddaeth attaf, 594.
gan ddywedyd,
2 Mab dyn, traetha ddychymmyg, a dïar-
heba ddïareb wrth dŷ Israel,
3 A dywed, Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw, Eryr mawr, mawr ei
adenydd, hir ei asgell, llawn plu, yr hwn
oedd iddo † amryw liwiau, a ddaeth i Li-
banus, ac [a] a gymmerth frigyn uchaf y
gedrwŷdden.
4 Torrodd frig ei blagur hi, ac a'i dug i
dir marsiandïaeth: yn ninas marchnadydd-
ion y gosododd efe ef.
5 A chymmerth o had y tir, ac a'i bwr-
iodd mewn maes ‡ ffrwythlon; efe a'i go-
sododd *ef* wrth ddyfroedd lawer, *ac* a'i
plannodd *fel* helygen.
6 Ac efe a dyfodd, ac a aeth yn winwŷdd-
en wasgarog, isel o dwf, a'i changau yn troi
atto ef; a'i gwraidd oedd dano ef: felly yr
aeth yn winwŷdden, ac y dug geingciau, ac
y bwriodd frig.
7 Yr oedd hefyd ryw eryr mawr, mawr
ei esgyll, ac â llawer o blu: ac wele y win-
wŷdden hon yn plygu ei gwraidd tu ag
atto ef, ac yn bwrw ei cheingciau tu ag
atto, i'w dyfrhâu ar hŷd rhigolau ei phlan-
iad.
8 Mewn maes da wrth ddyfroedd lawer
y plannasid hi, i fwrw brig, ac i ddwyn
ffrwyth, fel y byddai yn winwŷdden hardd-
deg.
9 Dywed, Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw, A lwydda hi? oni thynn
efe ei gwraidd hi? ac oni thyrr efe ei ffrwyth
hi, fel y gwywo? sych holl ddail ei brig, ac
nid trwy fraich mawr, na thrwy bobl
lawer, i'w thynnu hi o'i gwraidd.
10 Ië, wele, wedi ei phlannu, a lwydda
hi? [b] gan wywo oni wywa, pan gyffyrddo
gwŷnt y dwyrain â hi? yn rhigolau ei thwf
y gwywa.
11 ¶ Daeth hefyd air yr Arglwydd at-
taf, gan ddywedyd,
12 Dywed yr awr hon wrth y tŷ gwrth-
ryfelgar, Oni wyddoch beth *yw* hyn? dy-
wed, Wele, daeth brenhin Babilon i Jeru-
salem, ac efe a gymmerodd ei brenhin hi,
a'i thywysogion, ac a'u dug hwynt gyd ag
ef i Babilon:
13 Ac a gymmerodd o'r had brenhinol,
ac a wnaeth ag ef gyfammod, ac [c] a'i dug
ef dan lw; cymmerodd hefyd gedyrn y
wlad:
14 Fel y byddai 'r deyrnas yn isel, heb
ymddyrchafu, *eithr* § sefyll o honi trwy
gadw ei gyfammod ef.
15 Ond [d] gwrthryfelodd i'w erbyn, gan
anfon ei genhadau i'r Aipht, [e] fel y rhoddid
iddo feirch, a phobl lawer. A lwydda efe?
a ddïangc yr hwn a wnelo hyn? neu a
ddiddymma efe 'r cyfammod, ac a waredir
ef?
16 *Fel mai* byw fi, medd yr Arglwydd
Dduw, [f] ynghartref y brenhin yr hwn a'i
gwnaeth ef yn frenhin, yr hwn y dïystyrodd
efe ei lw, a'r hwn y diddymmodd efe ei
gyfammod, gyd ag ef y bydd efe marw
ynghanol Babilon.

† Heb. *wniadwaith.*
[a] 2 Bren. 24. 12.
‡ Heb. *had.*
[b] Pen. 19. 12. Hos. 13. 15.
[c] 2 Chron. 36. 13.
§ Heb. *trwy gadw ei gyfammod, i sefyll wrtho.*
[d] 2 Bren. 24. 20.
[e] Esay 31. 1, 3.
[f] Jer. 32. 5. a 34. 3. Pen. 12. 13.

17 Ac ni wna Pharaoh â'i lu mawr, ac â'i
fintai liosog, ddim gyd ag ef mewn rhyfel,
g Jer. 52. 4. g wrth godi clawdd, ac wrth adeiladu
Pen. 4. 2. cestyll, i dorri ymaith lawer einioes.
18 Gan ddïystyru o hono 'r llw, gan
ddiddymmu 'r cyngrair (canys wele, efe a
roddasai ei law) a gwneuthur o hono hynny
oll, ni ddïangc.
19 Am hynny fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; *Fel mai* byw fi, fy llw yr
hwn a ddïystyrodd efe, a'm cyfammod yr
hwn a ddiddymmodd efe, hwnnw a roddaf
fi ar ei ben ef.
h Pen. 12. 13. a 32. 3. 20 Canys h taenaf fy rhwyd arno, ac efe
a ddelir yn fy rhwyd, a dygaf ef i Babilon,
ac yno 'r ymddadleuaf ag ef *am* ei gam-
wedd a wnaeth i'm herbyn.
i Pen. 12. 14. 21 i A'i holl ffoaduriaid ynghŷd â'i holl
fyddinoedd a syrthiant gan y cleddyf, a'r
gweddill a wasgerir gyd â phob gwŷnt; fel y
gwypoch mai myfi 'r Arglwydd a'i llefarais.
22 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Mi a gymmeraf hefyd frig y gedr-
wŷdden uchel, ac a'i gosodaf: o frig ei bla-
gur y torraf *un* tyner, a mi a'i plannaf ar
fynydd uchel a dyrchafedig.
k Esay 2. 2, 3. Pen. 20. 40. Mich. 4. 1. 23 Ar k fynydd uchelder Israel y plannaf
ef: ac efe a fwrw frig, ac a ddwg ffrwyth,
ac a fydd yn gedr-wŷdden hardd-deg: a
phob aderyn o bob rhyw asgell a drig dani;
dan gysgod ei changhennau y trigant.
24 A holl breniau'r maes a gânt wybod
mai myfi 'r Arglwydd a ostyngais y pren
uchel, ac a ddyrchefais y pren isel; a sychais
y pren îr, ac a ireiddiais y pren crin: myfi 'r
Arglwydd a'i lleferais, ac a'i gwneuthum.

## PEN. XVIII.

Awst 18. B. Sul 17 ar ol y Drindod, P.

1 *Duw yn argyoeddi anghyfiawn ddïareb y grawnwin surion; 5 yn dangos y modd y gwna efe â thad cyfiawn: 10 ac â mab anghyfiawn i dad cyfiawn: 14 ac â mab cyfiawn i dad anghyfiawn; 19 ac â'r annuwiol a edifarhao: 24 ac â'r duwiol a ymadawo â'i dduwioldeb. 25 Y mae'n ymddiffyn ei gyfiawnder, 31 ac yn annog i edifeirwch.*

594. A Gair yr Arglwydd a ddaeth attaf,
gan ddywedyd,
2 Pa ham gennych arferu 'r ddïareb hon
a Jer. 31. 29. Galar. 5. 7. am dir Israel, gan ddywedyd, a Y tadau a
fwyttasant rawnwin surion, ac ar ddannedd
y plant y mae dincod?
3 *Fel mai* byw fi, medd yr Arglwydd
Dduw, ni bydd i chwi mwy arferu 'r
ddïareb hon yn Israel.
b Pen. 22. 9. 4 Wele, yr holl eneidiau eiddof fi ydynt;
c Lef. 18. 20. a 20. 10. fel enaid y tad, felly hefyd enaid y mab,
eiddof fi ydynt; yr enaid a becho, hwnnw
d Lef. 18. 19. a 20. 18. a fydd marw.
5 ¶ Canys os bydd gwr yn gyfiawn, ac
e Exod. 22. 21. Lef. 19. 13. a 25. 14. yn gwneuthur barn a chyfiawnder,
6 Heb b fwytta ar y mynyddoedd, na
chyfodi ei lygaid at eilunod tŷ Israel, ac
f Exod. 22. 26. Deut. 24. 12. heb c halogi gwraig ei gymmydog, na
nesâu at d wraig fisglwyfus,
g Deut. 15. 7. Esay 58. 7. Mat. 25. 35. 7 Na e gorthrymmu neb, *ond* a roddes
ei f wystl i'r dyledwr yn ei ol, ni threisiodd
drais, g ei fara a roddodd i'r newynog, ac a
ddilladodd y noeth,
h Exod. 22. 25. Lef. 25. 36, 37. Deut. 23. 19. Psal. 15. 5. 8 Ni roddes ar h usuriaeth, ac ni chym-
merodd ychwaneg, ei law a dynnodd yn ei
hol oddi wrth anwiredd, gwir farn a wnaeth
rhwng gwr a gwr,
9 Yn fy neddfau y rhodiodd, a'm barn-
edigaethau a gadwodd, i wneuthur gwir-
ionedd: cyfiawn *yw;* gan fyw efe a fydd
byw, medd yr Arglwydd Dduw.
10 ¶ Os cenhedla efe fab yn † lleidr, ac † Neu, dorrwr tai.
yn tywallt gwaed, ac a wna ‡ gyffelyb i'r
un o'r *pethau* hyn,
11 Ac ni wna yr un o'r *pethau* hynny, ond ‡ Neu, i'w frawd yn erbyn y pethau hyn.
ar y mynyddoedd y bwytty, a gwraig ei
gymmydog a haloga,
12 Yr anghenus a'r tlawd a orthrymma,
trais a dreisia, gwystl ni rydd drachefn, ac
at eilunod y cyfyd ei lygaid, a wnaeth
ffieidd-dra,
13 Ar usuriaeth y rhoddes, ac ychwaneg
a gymmerth; gan hynny a fydd efe byw?
Ni bydd byw: gwnaeth yr holl ffieidd-dra
hyn; gan farw y bydd farw; i ei waed a i Lef. 20. 9. Act. 18. 6.
fydd arno ei hun.
14 ¶ Ac wele, *os* cenhedla fab a wêl
holl bechodau ei dad y rhai a wnaeth efe,
ac a ystyria, ac ni wna felly,
15 Ar y mynyddoedd ni fwytty, a'i ly-
gaid ni chyfyd at eilunod tŷ Israel, ni ha-
loga wraig ei gymmydog,
16 Ni orthrymma neb chwaith, ni § attal § Heb. wystla wystl, neu, chymmer ynqwystl.
wystl, ac ni threisia drais, ei fara a rydd
i'r newynog, a'r noeth a ddillada,
17 Ni thry ei law oddi wrth yr anghenog,
usuriaeth na llog ni chymmer, fy marnau
a wna, yn fy neddfau y rhodia: hwnnw
ni bydd farw am anwiredd ei dad; gan
fyw y bydd efe byw.
18 Ei dad, am orthrymmu'n dost, a
threisio ei frawd trwy orthrech, a gwneuthur
yr hyn nid *oedd* dda ym mysg ei bobl, wele,
efe a fydd marw yn ei anwiredd.
19 ¶ Etto chwi a ddywedwch, Pa ham?
k oni ddwg y mab anwiredd y tad? Pan k Exod. 20. 5. Deut. 5. 9.
wnelo'r mab farn a chyfiawnder, *a* chadw
fy holl ddeddfau, a'u gwneuthur hwynt,
gan fyw efe a fydd byw.
20 Yr enaid a becho, hwnnw a fydd
marw. l Y mab ni ddwg anwiredd y tad, l Deut. 24. 16. 2 Bren. 14. 6. 2 Chron. 25. 4. Jer. 31. 29, 30.
a'r tad ni ddwg anwiredd y mab: cyfiawn-
der y cyfiawn fydd arno ef, a drygioni'r
drygionus fydd arno yntau.
21 Ond m os yr annuwiol a ddychwel
oddi wrth ei holl bechodau y rhai a wnaeth,
a chadw fy holl ddeddfau, a gwneuthur m Pen. 33. 12.
barn a chyfiawnder, efe gan fyw a fydd byw,
ni bydd efe marw.
22 Ni chofir iddo yr holl gamweddau a
wnaeth: yn ei gyfiawnder a wnaeth y bydd
efe byw.
23 n Gan ewyllysio a ewyllysiwn i farw yr n Adn. 32. Pen. 33. 11.
annuwiol, medd yr Arglwydd Dduw, *ac*
na ddychwelai oddi wrth ei ffyrdd, a byw?
24 ¶ Ond o pan ddychwelo 'r cyfiawn o Pen. 3. 20. a 33. 12, 13.
oddi wrth ei gyfiawnder, a gwneuthur an-
wiredd, a gwneuthur yn ol yr holl ffieidd-
dra a wnelo 'r annuwiol; a fydd efe byw?
ni chofir yr holl gyfiawnderau a wnaeth efe:
yn ei gamwedd yr hwn a wnaeth, ac yn ei be-
chod a bechodd, ynddynt y bydd efe marw.
25 ¶ p Etto chwi a ddywedwch, Nid p Adn. 29. Pen. 33. 17, 20.
cymmwys yw ffordd yr Arglwydd.
Gwrandêwch yn awr hon, tŷ Israel, onid
yw gymmwys fy ffordd i? onid eich ffyrdd
chwi nid ydynt gymmwys?
26 Pan ddychwelo'r cyfiawn oddi wrth
ei gyfiawnder, a gwneuthur anwiredd, a
marw ynddynt; am ei anwiredd a wnaeth
y bydd efe marw.
27 A phan ddychwelo 'r annuwiol oddi
wrth ei ddrygioni yr hwn a wnaeth, a
gwneuthur barn a chyfiawnder, hwnnw a
geidw yn fyw ei enaid.

28 Am iddo ystyried, a dychwelyd oddi
wrth ei holl gamweddau y rhai a wnaeth,
gan fyw y bydd byw; ni bydd marw.
q Adn. 25. 29 q Etto tŷ Israel a ddywedant, Nid
cymmwys yw ffordd yr ARGLWYDD. Tŷ
Israel, onid cymmwys fy ffyrdd i? onid eich
ffyrdd chwi nid ydynt gymmwys?
30 Am hynny barnaf chwi, tŷ Israel, bob
un yn ol ei ffyrdd ei hun, medd yr AR-
r Mat. 3. 2. GLWYDD DDUW. r Dychwelwch, † a thro-
† Neu, *a throwch eraill.* wch oddi wrth eich holl gamweddau; fel na
byddo anwiredd yn dramgwydd i chwi.
s Jer. 32. 39. 31 ¶ Bwriwch oddi wrthych eich holl gam-
weddau y camweddasoch ynddynt, a gwn-
Pen. 11. 19. a 36. 26. ewch iwch' s galon newydd, ac yspryd ne-
t Galar. 3. 33. wydd: canys pa ham, tŷ Israel, y byddwch
feirw?
Pen. 33. 11. 32 Canys t nid oes ewyllys gennyf i far-
2 Petr 3. 9. wolaeth y marw, medd yr ARGLWYDD
‡ Neu, *Trowch eraill.* DDUW. ‡ Dychwelwch gan hynny, a bydd-
wch fyw.

## PEN. XIX.

1 *Cwynfan am dywysogion Israel, trwy ddammeg o genawon llew a ddaliwyd mewn pydew; 10 ac am Jerusalem, trwy ddammeg o winwŷdden anrheithiedig.*

594. CYMMER dithau alarnad am dywysogion
Israel,
2 A dywed, Beth yw dy fam? llewes:
gorweddodd ym mysg llewod, ynghanol
y llewod ieuaingc y maethodd hi ei che-
nawon.
3 A hi a ddug i fynu un o'i chenawon:
a Adn. 6. a efe a aeth yn llew ieuangc, ac a ddysg-
odd ysglyfaethu ysglyfaeth; bwyttaodd
ddynion.
4 Yna y cenhedloedd a glywsant son am
b 2 Bren. 23. 33, 34. dano; b daliwyd ef yn eu ffos hwynt, a dyg-
Jer. 22. 11, 12. asant ef mewn cadwynau i dir yr Aipht.
5 A phan welodd iddi ddisgwyl, *a* dar-
fod am ei gobaith, hi a gymmerodd un *arall*
o'i chenawon, *ac* a'i gwnaeth *ef* yn llew
ieuangc.
6 Yntau a á amwyodd ym mysg y llew-
c Adn. 3. od; c efe a aeth yn llew ieuangc, ac a ddys-
godd ysglyfaethu ysglyfaeth; bwyttaodd
ddynion.
† Neu, *llysoedd anghyfanedd, neu, gweddwdai.* 7 Adnabu hefyd eu † gweddwon hwynt,
a'u dinasoedd a anrheithiodd efe; ïe, an-
rheithiwyd y tir a'i gyflawnder gan lais ei
ruad ef.
8 Yna d y cenhedloedd a ymosodasant yn
d 2 Bren. 24. 2. ei erbyn ef o amgylch o'r taleithiau, ac e a
daenasant eu rhwyd arno; ac efe a ddaliwyd
e 2 Chron. 36. 6. yn eu ffos hwynt.
Jer. 22. 18. 9 A hwy a'i rhoddasant ef yngharchar
‡ Neu, *bachau.* mewn ‡ cadwyni, ac a'i dygasant at fren-
hin Babilon: dygasant ef i ymddiffynfeydd,
fel na chlywid ei lais ef mwy ar fynyddoedd
Israel.
§ Neu, *ymyddwch, neu, gyffelybrwydd.* 10 ¶ Dy fam *sydd* fel gwinwŷdden yn dy
§ waed di, wedi ei phlannu wrth ddyfroedd:
ffrwythlon a brigog oedd, o herwydd dyfr-
oedd lawer.
11 Ac yr oedd iddi wïail cryfion yn
deyrnwïail llywodraethwŷr, a'u huchder
*oedd* uchel ym mysg y tewfrig; fel y gwelid
hi yn ei huchder yn amlder ei changhennau.
12 Ond hi a ddiwreiddiwyd mewn llid-
f Pen. 17. 10. iowgrwydd, bwriwyd hi i'r llawr, a f gwŷnt
Hos. 13. 15. y dwyrain a wywodd ei ffrwyth hi: ei gwï-
ail cryfion hi a dorrwyd ac a wywasant; tân
a'u hysodd.
13 Ac yr awr hon hi a blannwyd mewn
anialwch, mewn tir cras a sychedig.

14 A g thân a aeth allan o wïalen ei g Barn. 9. 15.
changhennau, ysodd ei ffrwyth hi, fel nad
oedd ynddi wïalen gref yn deyrnwïalen i
lywodraethu. Galarnad yw hwn, ac yn
alarnad y bydd.

## PEN. XX.

1 *Duw yn gwrthod gadael i henuriaid Israel ymgynghori ag ef: 5 yn adrodd histori eu hanufudd-dod hwy yn yr Aipht, 10 yn yr anialwch, 27 ac yn eu gwlad: 33 yn addaw eu cynnull hwy trwy'r efengyl. 45 Dan enw coedwig y mae yn dangos dinystr Jerusalem.* Sul 18 ar ol y Drindod, B.

YN y seithfed flwyddyn, o fewn y pum- 593
med *mis*, ar y degfed *dydd* o'r mis, a y a Pen. 8. 1.
daeth gwŷr o henuriaid Israel i ymgynghori a 14. 1.
â'r ARGLWYDD, ac a eisteddasant ger fy
mron i.
2 Yna y daeth gair yr ARGLWYDD attaf,
gan ddywedyd,
3 Ha fab dyn, llefara wrth henuriaid
Israel, a dywed wrthynt, Fel hyn y dywed
yr ARGLWYDD DDUW; b Ai i ymofyn â b Pen. 14. 3. a adn. 31.
mi yr ydych chwi yn dyfod? *Fel* mai byw
fi, medd yr ARGLWYDD DDUW, ni fyn-
naf gennych ymofyn â mi.
4 † c A ferni di hwynt, mab dyn, a ferni † Neu, *A ddadleui di trostynt hwy.*
di hwynt? gwna iddynt wybod ffieidd-dra
eu tadau:
5 ¶ A dywed wrthynt, Fel hyn y dywed c Pen. 22. 2. a 23. 36.
yr ARGLWYDD DDUW; Ar y dydd d y
dewisais Israel, ac y ‡ tyngais wrth had tŷ d Exod. 6. 7.
Jacob, ac y'm e gwneuthum yn hyspys idd-
ynt yn nhir yr Aipht, pan dyngais wrthynt, ‡ Heb. *codais fy llaw; ac felly adn. 6, &c.*
gan ddywedyd, Myfi *yw* yr ARGLWYDD
eich DUW chwi;
6 Yn y dydd y tyngais wrthynt ar eu
dwyn hwynt allan o dir yr Aipht, i wlad yr e Exod. 3. 8. a 4. 31.
hon a ddarparaswn iddynt, yn llifeirio o la-
eth a mel; f yr hon *yw* gogoniant yr holl f Psal. 48. 2.
diroedd: Adn. 15.
7 Yna y dywedais wrthynt, Bwriwch Dan. 8. 9. a 11. 16.
ymaith bob un ffieidd-dra ei lygaid, ac nac
ymhalogwch ag eilunod yr Aipht. Myfi *yw*
yr ARGLWYDD eich DUW chwi.
8 Er hynny gwrthryfelasant i'm herbyn,
ac ni fynnent wrando arnaf: ni fwriasant
ymaith ffieidd-dra eu llygaid bob un, ac ni
adawsant eilunod yr Aipht. Yna y dywed-
ais, Tywalltaf arnynt fy llidiowgrwydd, i
gyflawni fy nig arnynt ynghanol gwlad yr
Aipht.
9 g Etto gwneuthum er mwyn fy enw, g Edrych Exod. 32. 12.
rhag ei halogi yngolwg y cenhedloedd y
rhai *yr oeddynt* hwy yn eu mysg; yngŵydd Num. 14. 16.
pa rai yr ymhyspysais iddynt hwy, wrth eu Deut. 9. 28.
dwyn hwynt allan o dir yr Aipht. Adn. 14, 22.
10 ¶ Am hynny h y dygais hwynt allan
o dir yr Aipht, ac a'u dygais hwynt i'r ani- h Exod. 13. 1.
alwch.
11 A rhoddais iddynt fy neddfau, § a § Heb. *a gwneuthum iddynt wybod.*
hyspysais iddynt fy marnedigaethau; i y rhai
y bydd byw ynddynt y dyn a'u gwna hwynt.
12 Rhoddais hefyd iddynt fy k sabboth- i Lef. 18. 5.
au, i fod yn arwydd rhyngof fi a hwynt, i Adn. 13. 21.
wybod mai myfi *yw* yr ARGLWYDD a'u sanct- Rhuf. 10. 5. Gal. 3. 12.
eiddiodd hwynt. k Exod. 20. 8. a 31. 13, &c. a 35. 2.
13 Er hynny tŷ Israel a wrthryfelasant
i'm herbyn yn yr anialwch: ni rodiasant yn Deut. 5. 12.
fy neddfau, ond dïystyrasant fy marnediga-
ethau, y rhai y bydd byw ynddynt y dyn
a'u gwnelo hwynt; fy sabbothau hefyd a l Exod. 16. 27.
l halogasant yn ddirfawr. Yna y dywedais
y tywalltwn fy llid arnynt yn yr m anialwch, m Num. 14. 29. a 26. 65.
i'w difetha hwynt.

n Adn. 9, 22. 14 [n] Etto gwneuthum er mwyn fy enw,
fel na halogid ef yngolwg y cenhedloedd, y
rhai y dygais hwynt allan yn eu gŵydd.
o Num. 14. 28. 15 Ac etto [o] mi a dyngaswn iddynt yn yr
Psal. 106. 26. anialwch, na ddygwn hwynt i'r wlad a
roddaswn *iddynt*, yn llifeirio o laeth a mel;
p Adn. 6. [p] honno *yw* gogoniant yr holl wledydd:
q Adn. 13, 24. 16 [q] O herwydd iddynt ddiystyru fy
marnedigaethau, ac na rodiasant yn fy nedd-
fau, ond halogi fy sabbothau: canys eu
calon oedd yn myned ar ol eu heilunod.
17 Etto tosturiodd fy llygaid wrthynt
rhag eu dinystrio, ac ni wneuthum ddiben
am danynt yn yr anialwch.
18 Ond mi a ddywedais wrth eu meibion
hwynt yn yr anialwch, Na rodiwch yn nedd-
fau eich tadau, ac na chedwch eu barne-
digaethau hwynt, nac ymhalogwch chwaith
â'u heilunod hwynt.
19 Myfi *yw* yr ARGLWYDD eich Duw
chwi; rhodiwch yn fy neddfau, a chedwch
fy marnedigaethau, a gwnewch hwynt:
20 Sancteiddiwch hefyd fy sabbothau;
fel y byddont yn arwydd rhyngof fi a chwi-
thau, i wybod mai myfi *yw*'r ARGLWYDD
eich Duw chwi.
21 Y meibion hwythau a wrthryfelasant
i'm herbyn: yn fy neddfau ni rodiasant,
a'm barnedigaethau ni chadwasant trwy eu
r Adn. 11, 13. gwneuthur hwynt, [r] y rhai y bydd byw
ynddynt y dyn a'u gwnelo hwynt: haloga-
sant fy sabbothau: yna y dywedais y ty-
walltwn fy llid arnynt, i gyflawni fy nig
wrthynt yn yr anialwch.
s Psal. 78. 38. 22 [s] Etto troais heibio fy llaw, a [t] gwneu-
t Adn. 9, 14. thum er mwyn fy enw, fel na halogid ef
yngolwg y cenhedloedd y rhai y dygaswn
hwynt allan yn eu gŵydd.
23 Hefyd mi a dyngaswn wrthynt yn yr
u Lef. 26. 33. anialwch, [u] ar eu gwasgaru hwynt ym mysg
Jer. 15. 7. y cenhedloedd, a'u taenu hwynt ar hyd y
gwledydd;
x Adn. 13, 16. 24 [x] O herwydd fy marnedigaethau ni
wnaethent, ond fy neddfau a ddiystyrasent,
fy sabbothau hefyd a halogasent, a'u llygaid
oedd ar ol eilunod eu tadau.
y Edrych Psal. 81. 12. 25 [y] Minnau hefyd a roddais iddynt
Adn. 39. ddeddfau nid *oeddynt* dda, a barnedigaethau
Rhuf. 1. 24. ni byddent fyw ynddynt:
26 Ac a'u halogais hwynt yn eu hoffrym-
z 2 Bren. 17. 17. a 21. 6. mau, [z] wrth dynnu *trwy dân* bob peth a
egoro'r groth, fel y dinystriwn hwynt; fel y
2 Chron. 28. 3. a 33. 6. gwybyddent mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.
Pen. 16. 20. 27 ¶ Am hynny, fab dyn, llefara wrth
dŷ Israel, a dywed wrthynt, Fel hyn y dy-
wed yr ARGLWYDD DDUW; Etto yn hyn
† Heb. gamweddu o honynt gamwedd. y'm cablodd eich tadau, gan † wneuthur o
honynt gamwedd i'm herbyn.
28 Canys dygais hwynt i'r tir a dyngas-
a Esay 57. 5, &c. wn ar ei roddi iddynt, a [a] gwelsant bob
bryn uchel, a phob pren brigog; ac aberth-
asant yno eu hebyrth, ac yno y rhoddasant
eu hoffrymmau digllonedd: yno hefyd y
b Pen. 16. 19. gosodasant eu [b] harogl peraidd, ac yno y
tywalltasant eu diod-offrymmau.
‡ Neu, iddynt, Beth oedd yr uchelfa, neu, y Bamah, &c. 29 Yna y dywedais ‡ wrthynt, Beth *yw*'r
uchelfa'r ydych chwi yn myned iddi? a
Bamah y galwyd ei henw hyd y dydd hwn.
30 Am hynny dywed wrth dŷ Israel, Fel
hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Ai
ar ffordd eich tadau yr ymhalogwch chwi?
ac a butteiniwch chwi ar ol eu ffieidd-dra
hwynt?
31 Canys pan offrymmoch eich offrym-
mau, gan dynnu eich meibion trwy'r tân,
yr ymhalogwch wrth eich holl eilunod
hyd heddyw: a [c] fynnaf fi gennych ymo- c Adn. 3.
fyn â mi, tŷ Israel? *Fel mai* byw fi, medd
yr ARGLWYDD DDUW, nid ymofynir â mi
gennych.
32 § Eich bwriad hefyd ni bydd ddim, § Heb.
yr hyn a ddywedwch, Byddwn fel y cen- *A'r hyn a gyfyd ar*
hedloedd, fel teuluoedd y gwledydd, i wa- *eich yspryd.*
sanaethu pren a maen.
33 ¶ *Fel mai* byw fi, medd yr ARGLWYDD
DDUW, yn ddiau â llaw gadarn, ac â braich
estynedig, ac â llidiowgrwydd tywalltedig, y
teyrnasaf arnoch.
34 A dygaf chwi allan ym mysg y bobl-
oedd, a chasglaf chwi o'r gwledydd y rhai
y'ch gwasgarwyd ynddynt, â llaw gadarn,
ac â braich estynedig, ac â llidiowgrwydd
tywalltedig.
35 A dygaf chwi i anialwch y bobloedd,
ac ymddadleuaf â chwi yno wyneb yn wy-
neb.
36 Fel yr ymddadleuais â'ch tadau yn an-
ialwch tir yr Aipht, felly yr ymddadleuaf â
chwithau, medd yr ARGLWYDD DDUW.
37 A gwnaf i'ch fyned dan y wialen, a
dygaf chwi i ‖ rwym y cyfammod. ‖ Neu,
38 A [d] charthaf o honoch y rhai gwrth- *draddodiad.*
ryfelgar, a'r rhai a droseddant i'm herbyn:
dygaf hwynt o wlad eu hymdaith, ac [e] i d Pen. 34. 17, 20.
wlad Israel ni ddeuant: a [f] chewch wybod Mat. 25. 32,
mai myfi *yw* yr ARGLWYDD. 33.
39 Chwithau, tŷ Israel, fel hyn y dywed e Jer. 44.
yr ARGLWYDD DDUW; Ewch, gwasanaeth- 14.
wch bob un ei eilunod, ac ar ol hyn *hefyd*, f Pen. 6.
oni wrandewch arnaf fi: ond na halogwch 7. a 15. 7. a 23. 49.
mwy fy enw sanctaidd â'ch offrymmau ac
â'ch eilunod.
40 Canys [g] yn fy mynydd sanctaidd, ym g Esay 2.
mynydd uchelder Israel, medd yr AR- 2, 3.
GLWYDD DDUW, yno y'm gwasanaetha Pen. 17. 23.
holl dŷ Israel, cwbl o'r wlad: yno y bydd- Mich. 4. 1.
af fodlon iddynt; ac yno y gofynaf eich
offrymmau, † a blaenffrwyth eich offrym- † Neu,
mau, gyd â'ch holl sanctaidd bethau. *a'r pennaf o'ch*
41 Byddaf foddlon i chwi gyd â'ch arogl *offrymmau.*
‡ peraidd, pan ddygwyf chwi allan o blith
y bobloedd, a'ch casglu chwi o'r tiroedd y'ch ‡ Heb.
gwasgarwyd ynddynt; a mi a sancteiddir *gorphwysdra.*
ynoch yngolwg y cenhedloedd.
42 [h] Hefyd cewch wybod mai myfi *yw* yr h Adn. 38,
ARGLWYDD, pan ddygwyf chwi i dir Israel, 44.
i'r tir y tyngais am ei roddi i'ch tadau.
43 Ac [i] yno y cofiwch eich ffyrdd, a'ch i Pen. 16.
holl weithredoedd y rhai yr ymhalogasoch 61.
ynddynt; [k] fel yr alaroch arnoch eich hun k Lef. 26.
am yr holl ddrygioni a wnaethoch. 39. Pen. 6. 9.
44 A [l] chewch wybod mai myfi *yw* yr Hos. 5. 15.
ARGLWYDD, pan wnelwyf â chwi er mwyn l Adn. 38.
fy enw, nid yn ol eich ffyrdd drygionus Pen. 24. 24.
chwi, nac yn ol eich gweithredoedd lly-
gredig, O tŷ Israel, medd yr ARGLWYDD
DDUW.
45 ¶ Daeth drachefn air yr ARGLWYDD
attaf, gan ddywedyd,
46 Gosod dy wyneb, [m] fab dyn, tu a'r m Pen. 21.
dehau, a difera *eiriau* tu a'r deau, a phro- 2.
phwyda yn erbyn coed maes y deau;
47 A dywed wrth goed y dehau, Gwran-
do air yr ARGLWYDD: Fel hyn y dywed yr
ARGLWYDD DDUW; Wele fi yn cynneu
ynot ti dân, ac efe a ysa ynot ti [n] bob pren n Luc 23.
ir, a phob pren sych: ffagl y fflam ni ddi- 31.
ffydd, a'r holl wynebau o'r deau hyd y gog-
ledd a losgir ynddo.
48 A phob cnawd a welant mai myfi yr
ARGLWYDD a'i cynneuais: ni's diffoddir
ef.

49 Yna y dywedais, O ARGLWYDD DDUW,
y maent hwy yn dywedyd am danaf, Onid
damhegion y mae hwn yn eu traethu?

## PEN. XXI.

1 *Esecicl yn prophwydo yn erbyn Jerusalem trwy arwydd ocheneidio.* 8 *Y cleddyf gloyw-llym,* 18 *yn erbyn Jerusalem,* 25 *yn erbyn y frenhiniaeth,* 28 *ac yn erbyn yr Ammoniaid.*

593. A Daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan
ddywedyd,
2 Gosod dy wyneb, a fab dyn, tu a Jeru-
salem, a b difera *dy eiriau* tu a'r cyssegroedd,
a phrophwyda yn erbyn gwlad Israel,
3 A dywed wrth wlad Israel, Fel hyn y
dywed yr ARGLWYDD; Wele fi i'th erbyn,
tynnaf hefyd fy nghleddyf o'i wain, a thorraf
o honot gyfiawn ac anghyfiawn.
4 O herwydd y torraf o honot gyfiawn ac
anghyfiawn, am hynny y daw fy nghleddyf
allan o'i wain yn erbyn pob cnawd o'r deau
hyd y gogledd;
5 Fel y gwypo pob cnawd i mi yr AR-
GLWYDD dynnu fy nghleddyf allan o'i
wain: ni ddychwel efe mwy.
6 Ochain dithau, fab dyn, gyd ag ysigtod
lwynau; ie ochain yn chwerw yn eu golwg
hwynt.
7 A bydd, pan ddywedant wrthyt, Am ba
beth yr ydwyt yn ochain? yna dywedyd o
honot, Am y chwedl newydd, am ei fod yn
dyfod, fel y toddo pob calon, ac y llaeso'r
dwylaw oll, ac y pallo pob yspryd, a'r gli-
niau oll a ant † fel dwfr; wele efe yn dyfod,
ac a fydd, medd yr ARGLWYDD DDUW.
8 ¶ A gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf,
gan ddywedyd,
9 Prophwyda, fab dyn, a dywed, Fel hyn
y dywed yr ARGLWYDD; Dywed, c Cledd-
yf, cleddyf a hogwyd, ac a loywyd.
10 Efe a hogwyd i ladd lladdfa, efe a loyw-
yd fel y byddai ddisglair: a lawenychwn
ni? ‡ y mae efe'n dirmygu gwïalen fy mab,
*fel* pob pren.
11 Ac efe a'i rhoddes i'w loywi, i'w ddal
mewn llaw; y cleddyf hwn a hogwyd, ac a
loywyd, i'w roddi yn llaw y lleiddiad.
12 Gwaedda ac uda, fab dyn; canys hwn
fydd ar fy mhobl, hwn *fydd* yn erbyn holl
dywysogion Israel; § dychryn gan y cleddyf
fydd ar fy mhobl: am hynny d taro *law* ar
forddwyd.
13 || Canys profiad *yw*; a pheth os *y cledd-
yf* a ddirmyga'r wïalen? ni bydd efe *mwy*,
medd yr ARGLWYDD DDUW.
14 Tithau, fab dyn, prophwyda, a e tharo
law wrth law, a dybler y cleddyf y drydedd
waith, cleddyf y lladdedigion, cleddyf ladd-
edigaeth y gwŷr mawr *ydyw*, yn myned i'w
'stafelloedd hwynt.
15 Rhoddais † flaen y cleddyf yn erbyn
eu holl byrth hwynt, i doddi *eu* calon, ac i
amlhâu *eu* tramgwyddiadau: Oh, gwnaed ef
yn loyw, ‡ hogwyd ef i ladd.
16 Dos ryw ffordd, *naill* ar y llaw ddehau,
§ ai ar y llaw aswy, lle y tueddo dy wyneb.
17 Minnau hefyd f a darawaf y naill law
yn y llall, ac a lonyddaf fy llid: myfi yr
ARGLWYDD a'i lleferais.
18 ¶ A daeth gair yr ARGLWYDD attaf,
gan ddywedyd,
19 Tithau, fab dyn, gosod i ti ddwy
ffordd, fel y delo cleddyf brenhin Babilon;
o un tir y deuant ill dwy: a dewis le, ym
mhen ffordd y ddinas y dewisi *ef.*

a Pen. 20. 46. b Deut. 32. 2. Amos 7. 16. Mich. 2. 6, 11. † Heb. *yn ddwfr.* c Deut. 32. 41. Adn. 15, 28. ‡ Neu, *gwïalen fy mab yw; dirmygu pob pren y mae.* § Neu, *gwedi eu bwrw* … d Jer. 31. 19. || Neu, … *a'r wïalen sy'n dirmygu?* e Num. 24. 10. Pen. 6. 11. Adn. 17. † Neu, *lluchedyn*, *neu, fri.* ‡ Neu, *goblygwyd.* § Heb. *ymosod, dos ar y llaw aswy.* f Adn. 14.

20 Gosod ffordd i ddyfod o'r cleddyf tu
a g Rabbath meibion Ammon, a thu a Ju-
dah yn erbyn Jerusalem gaerog.
21 Canys safodd brenhin Babilon || ar y
groes-ffordd, ym mhen y ddwy ffordd, i
ddewinio dewiniaeth: gloywodd ei † saeth-
au, ymofynodd â ‡ delwau, edrychodd
mewn afu.
22 Yn ei law ddehau yr oedd dewin-
iaeth Jerusalem, h am osod § capteniaid i
agoryd safn mewn lladdedigaeth, i ddyr-
chafu llef gyd â bloedd, i osod offer rhyfel
yn erbyn y pyrth, i fwrw clawdd, i adeiladu
ymddiffynfa.
23 A *hyn* fydd ganddynt, fel dewinio de-
winiaeth gwagedd yn eu golwg hwynt, || i'r
rhai a dyngasant lwon: ond efe a gofia'r
anwiredd, i'w dal *hwynt.*
24 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD DDUW, Am beri o honoch gofio
eich anwiredd, gan amlygu eich camwedd-
au, fel yr ymddengys eich pechodau yn eich
holl weithredoedd; am beri o honoch *eich*
cofio, y'ch dèlir â llaw.
25 ¶ Tithau, halogedig annuwiol dywysog
Israel, i yr hwn y daeth ei ddydd, yn amser
diwedd anwiredd,
26 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
DDUW; Symmud y meitr, a thynn ymaith
y goron; nid yr un *fydd* hon: cyfod yr isel,
gostwng yr uchel.
27 † Dymchwelaf, dymchwelaf, dymchwel-
af hi; ac ni bydd *mwyach* k hyd oni ddelo'r
hwn y mae yn gyfiawn iddo; ac *iddo ef* y
rhoddaf hi.
28 ¶ Prophwyda dithau, fab dyn, a dy-
wed, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
DDUW l am feibion Ammon, ac am eu
gwaradwydd hwynt; dywed di, Y cleddyf,
y cleddyf a dynnwyd, i ladd y gloywyd ef,
i ddifetha o herwydd y disgleirdeb:
29 Wrth m weled gwagedd i ti, wrth dde-
winio it' gelwydd, i'th roddi ar yddfau'r
lladdedigion, y drygionus n y rhai y daeth
eu dydd, yn amser diwedd eu hanwiredd.
30 o ‡ A ddychwelaf fi *ef* i'w wain? yn y lle
y'th grëwyd, yn nhir dy gynnefin, y'th farnaf.
31 A thywalltaf fy nigllonedd arnat, â
thân fy llidiowgrwydd y chwythaf arnat, a
rhoddaf di yn llaw dynion § poethion,
cywraint i ddinystrio.
32 I'r tân y byddi yn ymborth; dy waed
fydd ynghanol y tir; ni'th gofir *mwyach*:
canys myfi yr ARGLWYDD a'i dywedais.

## PEN. XXII.

1 *Rhestr o bechodau Jerusalem.* 18 *Y llys Duw hwynt megis sothach yn ei ffwrn.* 23 *Llygredigaeth yr holl brophwydi, a'r offeiriaid, a'r tywysogion, a'r bobl.*

GAIR yr ARGLWYDD a ddaeth attaf 593.
drachefn, gan ddywedyd,
2 Tithau, fab dyn, † a a ferni di, a ferni
b ddinas y gwaed? ie ti a wnei iddi wybod
ei holl ffieidd-dra.
3 Dywed dithau, Fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD DDUW; Tywallt gwaed y mae'r
ddinas yn ei chanol, i ddyfod o'i hamser,
ac eilunod a wnaeth hi yn ei herbyn ei
hun i ymhalogi.
4 Euog wyt yn dy waed, yr hwn a c dy-
welltaist; a halogedig yn dy eilunod, y rhai
a wnaethost: a thi a neseaist dy ddyddiau, a
daethost hyd at dy flynyddoedd: am hynny
y'th d wneuthum yn warth i'r cenhedloedd,
ac yn watwargerdd i'r holl wledydd.

g Jer. 49. 2. || Heb. *ar fam y ffordd.* † Neu, *gyllyll.* ‡ Heb. *Teraphim.* h Pen. 4. 2. § Neu, *offer rhyfel.* Heb. *hyrddod.* || Neu, *am y llwon a dyngwyd iddynt.* i Adn. 29. Pen. 35. 5. † Heb. *Yn ddymchwelediig, ddymchwelediig, ddymchwelediig, y gosodaf hi.* k Gen. 49. 10. Luc 1. 32, 33. Ioan 1. 49. l Jer. 49. 1. Pen. 25. 2, 3. Seph. 2. 9. m Pen. 22. 28. n Adn. 25. o Jer. 47. 6, 7. ‡ Neu, *Dychwel ef.* § Neu, *ynfydion.* † Neu, *a ddadleui di tros, &c.* a Pen. 20. 4. a 23. 36. b Pen. 24. 6, 9. Nah. 3. 1. c 2 Bren. 21. 16. d Deut. 28. 37. Pen. 5. 14.

5 Y *rhai* agos a'r *rhai* pell oddi wrthyt a'th watwarant, yr halogedig o enw, *ac* aml dy drallod.

6 Wele, tywysogion Israel oeddynt ynot, bob un yn ei † allu i dywallt gwaed.

7 Dirmygasant ynot dad a mam; gwnaethant yn ‡ dwyllodrus â'r dieithr o'th fewn: gorthrymmasant ynot yr ymddifad a'r weddw.

8 Dirmygaist fy mhethau sanctaidd, a halogaist fy sabbothau.

9 [e] Athrodwŷr oedd ynot i dywallt gwaed; [f] ar y mynyddoedd hefyd y bwyttasant ynot ti: gwnant ysgelerder o'th fewn.

10 Ynot ti [g] y datguddient noethni eu tad: [h] yr aflan o fisglwyf a ddarostyngent ynot.

11 [i] Gwnae wr hefyd ffieidd-dra â gwraig ei gymmydog; a gwr [k] a halogai ei waudd ei hun mewn ysgelerder; ïe, darostyngai gwr ynot ei [l] chwaer ei hun, merch ei dad.

12 [m] Gwobr a gymmerent ynot am dywallt gwaed; [n] cymmeraist usuriaeth ac ocraeth, ac elwaist ar dy gymmydogion trwy dwyll, ac anghofiaist fi, medd yr ARGLWYDD DDUW.

13 ¶ Am hynny wele, [o] tarewais fy llaw wrth dy gybydd-dod yr hwn a wnaethost, ac am y gwaed oedd o'th fewn.

14 A bery dy galon, a gryfhâ dy ddwylaw yn y dyddiau y bydd i mi a wnelwyf â thi? [p] myfi yr ARGLWYDD a'i lleferais, ac a'i gwnaf.

15 Canys [q] gwasgaraf di ym mysg y cenhedloedd, a thaenaf di ar hŷd y gwledydd, a [r] gwnaf i'th aflendid ddarfod allan o honot.

16 A thi a § etifeddi ynot dy hun yngŵydd y cenhedloedd; a chei wybod mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

17 A gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf, gan ddywedyd,

18 Ha fab dyn, [s] tŷ Israel a aeth gennyf yn ammhuredd: pres, ac alcam, a haiarn, a phlwm, *ydynt* oll ynghanol y pair: ammhuredd arian ydynt.

19 Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Am eich bod chwi oll yn ammhuredd, am hynny wele fi yn eich casglu chwi i ganol Jerusalem.

20 *Fel* casglu arian, a phres, a haiarn, a phlwm, ac alcam, i ganol y ffwrn, i chwythu tân arnynt i'*w* toddi; felly yn fy llid, a'm dig, y casglaf *chwi*, ac a'*ch* gadawaf *yno*, ac a'ch toddaf.

21 Ië, casglaf chwi, a chwythaf arnoch â thân fy llidiowgrwydd, fel y todder chwi yn ei chanol hi.

22 Fel y toddir arian ynghanol y pair, felly y toddir chwi yn ei chanol hi; fel y gwypoch mai myfi yr ARGLWYDD a dywelltais fy llidiowgrwydd arnoch.

23 ¶ A gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf, gan ddywedyd,

24 Dywed wrthi hi, fab dyn, Ti yw y tir sy heb ei buro, heb wlawio arno yn nydd digter.

25 [t] Cyd-fradwriaeth ei phrophwydi o'i mewn, *sydd* fel llew rhuadwy yn ysglyfaethu ysglyfaeth; [u] eneidiau a ysasant; [x] trysor a phethau gwerthfawr a gymmerasant; ei gweddwon hi a amlhasant hwy o'i mewn.

26 Ei hoffeiriaid a dreisiasant fy nghyfraith, ac a halogasant fy mhethau sanctaidd: ni wnaethant [y] ragor rhwng cyssegredig a halogedig, ac ni wnaethant wybod *rhagor* rhwng yr aflan a'r glân; cuddiasant hefyd eu llygaid oddi wrth fy sabbothau, a halogwyd fi yn eu mysg hwynt.

27 Ei [z] phennaethiaid *oedd* yn ei chanol fel bleiddiaid yn ysglyfaethu ysglyfaeth, i dywallt gwaed, i ddifetha eneidiau, er elwa elw.

28 Ei [a] phrophwydi hefyd a'u priddasant hwy â *chlai* annhymherus, [b] gan weled gwagedd, a dewinio iddynt gelwydd, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW, a'r ARGLWYDD heb ddywedyd.

29 Pobl y tir a arferasant || dwyll, ac a dreisiasant drais, ac a orthrymmasant y truan a'r tlawd; y dieithr hefyd a orthrymmasant † yn anghyfiawn.

30 [c] Ceisiais hefyd wr o honynt i [d] gau 'r cae, ac i [e] sefyll ar yr adwy o'm blaen dros y wlad, rhag ei dinystrio; ac ni's cefais.

31 Am hynny y tywelltais fy nigofaint arnynt, â thân fy llidiowgrwydd y difethais hwynt; [f] eu ffordd eu hun a roddais ar eu pennau hwynt, medd yr ARGLWYDD DDUW.

## PEN. XXIII.

1 *Putteindra Aholah ac Aholibah.* 22 *Dialeddu ar Aholibah gan ei chariadau.* 36 *Y prophwyd yn argyoeddi eu godineb hwy ill dwyoedd,* 45 *ac yn dangos eu barn hwy.*

YNA y daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan ddywedyd, 593.

2 Ha fab dyn, [a] dwy wraig oedd ferched i 'r un fam;

3 A [b] phutteiniasant yn yr Aipht, yn eu hieuengctid y putteiniasant: yno y pwyswyd ar eu bronnau, ac yno yr ysigasant ddidennau eu morwyndod.

4 A'u henwau hwynt *oedd,* Aholah yr hynaf, ac Aholibah ei chwaer: ac [c] yr oeddynt yn eiddof fi, a phlantasant feibion a merched. Dyma eu henwau; Samaria *yw* Aholah, a Jerusalem Aholibah.

5 Ac Aholah a butteiniodd pan oedd eiddof fi, ac a ymserchodd yn ei chariadau, *ei* chymmydogion [d] yr Assyriaid;

6 Y *rhai* a wisgid â glas, yn ddugiaid ac yn dywysogion, o wŷr ieuaingc dymunol i gŷd, yn farchogion yn marchogaeth meirch.

7 Fel hyn y † gwnaeth hi ei phutteindra â hwynt, â dewis feibion Assur oll, a chyd â'r rhai oll yr ymserchodd ynddynt, â'u holl eilunod hwynt yr ymhalogodd hi.

8 Ac ni adawodd ei phutteindra *a ddygasai hi* o'r Aipht: canys gorweddasent gyd â hi yn eu hieuengctid, a hwy a ysigasent fronnau ei morwyndod hi, ac a dywalltasent eu putteindra arni.

9 Am hynny y rhoddais hi yn llaw ei chariadau, *sef* yn llaw [e] meibion Assur, y rhai yr ymserchodd hi ynddynt.

10 Y rhai hynny [f] a ddatguddiasant ei noethni hi: hwy a gymmerasant ei meibion hi a'i merched, ac a'i lladdasant hithau â'r cleddyf: a hi a aeth yn ‡ enwog ym mysg gwragedd; canys gwnaethent farn arni.

11 A [g] phan welodd ei chwaer Aholibah, [h] hi a lygrodd ei thraserch yn fwy nâ hi, a'i phutteindra yn fwy nâ phutteindra ei chwaer.

12 [i] Ymserchodd ym meibion Assur, y dugiaid a'r tywysogion o gymmydogion,

† Heb. *frawch.* ‡ Neu, *drahaus,* neu, *draws.* [e] Exod. 23. 1. Lef. 19. 16. [f] Pen. 18. 6, 11. [g] Lef. 18. 8. a 20. 11. [h] Lef. 18. 19. a 20. 18. [i] Lef. 18. 20. a 20. 10. Deut. 22. 22. Jer. 5. 8. [k] Lef. 18. 15. a 20. 12. [l] Lef. 18. 9. a 20. 17. [m] Exod. 23. 8. Deut. 16. 19. a 27. 25. [n] Exod. 22. 25. Lef. 25. 36. Deut. 23. 19. [o] Pen. 21. 17. [p] Pen. 17. 24. [q] Deut. 4. 27. a 28. 25, 64. Pen. 12. 14, 15. [r] Pen. 23. 27, 48. § Neu, *ymhalogi.* [s] Esay 1. 22. Jer. 6. 28, &c. [t] Hos. 6. 9. [u] Mat. 23. 14. [x] Mich. 3. 11. Seph. 3. 3, 4. [y] Lef. 10. 10. Jer. 15. 19. Pen. 44. 23.

[z] Mich. 3. 11. Seph. 3. 3. [a] Pen. 13. 10. [b] Pen. 21. 29. || Neu, *drais.* † Heb. *heb farn,* neu, *uniondeb.* [c] Jer. 5. 1. [d] Pen. 13. 5. [e] Psal. 106. 23. [f] Pen. 9. 10. a 11. 21. a 16. 43.

[a] Jer. 3. 7, 8, 10. Pen. 16. 46. [b] Lef. 17. 7. Jos. 24. 14. Pen. 20. 8. [c] Pen. 16. 8, 20. [d] 2 Bren. 15. 19. † Heb. *rhoddes.* [e] 2 Bren. 17. 3, 4, 5 23. [f] Pen. 16. 37. ‡ Heb. *enw.* [g] Jer. 3. 8. [h] Jer. 3. 11 Pen. 16. 47, 51. [i] 2 Bren. 16. 7, 10. Pen. 16. [illegible]

wedi eu gwisgo yn wŷch iawn, yn farchog-
ion yn marchogaeth meirch, yn wŷr ieu-
aingc dymunol i gyd.
13 Yna y gwelais ei halogi hi, *a bod* un
ffordd ganddynt ill dwy;
14 Ac iddi hi 'chwanegu ar ei phuttein-
dra: canys pan welodd wŷr wedi eu llunio
ar y pared, delwau 'r Caldeaid wedi eu
llunio â fermilion,
15 Wedi eu gwregysu â gwregys am eu
llwynau, yn rhagori mewn lliwiau am eu
pennau, mewn golwg yn dywysogion oll,
o ddull meibion Babilon yn Caldea, tir eu
genedigaeth:
16 Hi a ymserchodd ynddynt [k] † pan eu
gwelodd â'i llygaid, ac a anfonodd genhad-
au attynt i Caldea.
17 A meibion Babilon a ddaethant atti i
wely cariad, ac a'i halogasant hi â'u put-
teindra; a hi a ymhalogodd gyd â hwynt,
[l] a'i meddwl a giliodd oddi wrthynt.
18 Felly y datguddiodd hi ei phuttein-
dra, ac y datguddiodd ei noethni. Yna
[m] y ciliodd fy meddwl oddi wrthi, fel ‡ y
ciliasai fy meddwl oddi wrth ei chwaer hi.
19 Etto hi a 'chwanegodd ei phutteindra,
gan gofio dyddiau ei hieuengctid, *yn* y rhai
y putteiniasai hi yn nhir yr Aipht.
20 Canys hi a ymserchodd yn ei gor-
dderchwŷr, [n] y rhai *yr oedd* eu cnawd *fel*
cnawd asynod, a'u diferlif *fel* diferlif
meirch.
21 Felly y cofiaist ysgelerder dy ieuengc-
tid, pan ysigwyd dy ddidennau gan yr
Aiphtiaid, am fronnau dy ieuengctid.
22 ¶ Am hynny, Aholibah, fel hyn y
dywed yr Arglwydd Dduw, [o] Wele fi
yn cyfodi dy gariadau i'th erbyn, y rhai y
ciliodd dy feddwl oddi wrthynt, a dygaf
hwynt i'th erbyn o amgylch:
23 Meibion Babilon a'r holl Caldeaid,
Pecod, a Soa, a Coa, *a* holl feibion Assur
gyd â hwynt; yn wŷr ieuaingc dymunol, yn
ddugiaid a thywysogion i gyd, yn ben-
naethiaid ac yn enwog, yn marchogaeth
meirch, bawb o honynt.
24 A deuant i'th erbyn â menni, cerbyd-
au, ac olwynion, ac â chynnulleidfa o bobl;
gosodant i'th erbyn oddi amgylch astalch, a
tharian, a helm: a rhoddaf o'u blaen hwynt
farnedigaeth, a hwy a'th farnant â'u barne-
digaethau eu hun.
25 A mi a osodaf fy eiddigedd yn dy er-
byn, a hwy a wnant â thi yn llidiog: dy
drwyn a'th glustiau a dynnant ymaith; a'th
weddill a syrth gan y cleddyf: hwy a dda-
liant dy feibion a'th ferched; a'th weddill a
ysir gan y tân.
26 [p] Dïosgant hefyd dy ddillad, a dygant
§ dy ddodrefn hyfryd.
27 Felly [q] y gwnaf i'th ysgelerder, a'th
butteindra o dir yr Aipht, beidio â thi; fel
na chodech dy lygaid attynt, ac na chofiech
yr Aipht mwy.
28 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw, Wele fi yn dy roddi yn llaw [r] y
rhai a gaseaist, yn llaw [s] y rhai y ciliodd dy
feddwl oddi wrthynt.
29 A gwnant â thi yn atcas, ac a gymmer-
ant dy holl lafur, ac [t] a'th adawant di yn llom
ac yn noeth: a datguddir noethni dy but-
teindra; ïe, dy ysgelerder a'th butteindra.
30 Mi a wnaf hyn i ti, am butteinio o honot
ar ol y cenhedloedd, am dy halogi gyd â'u
heilunod hwynt.
31 Ti a rodiaist yn ffordd dy chwaer;

[k] 2 Bren. 24. 1. Pen. 16. 29.
† Heb. *wrth weledigad ei llygaid.*
[l] Adn. 28.
[m] Jer. 6. 8.
‡ Heb. *y dattodasai, neu, yr ymollyngasai.*
[n] Pen. 16. 26.
[o] Pen. 16. 37.
[p] Pen. 16. 39.
§ Heb. *ddodrefn dy harddwch.*
[q] Pen. 22. 15.
[r] Pen. 16. 37.
[s] Adn. 17.
[t] Pen. 16. 39.

am hynny y rhoddaf finnau ei [u] chwppan
hi yn dy law di.
32 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Dwfn a helaeth gwppan dy chwaer
a yfi: ti a fyddi i'th watwar, ac i'th ddir-
mygu: y mae llawer yn genni ynddo.
33 Ti a lenwir â meddwdod ac â gofid, o
gwppan syndod ac anrhaith, o gwppan dy
chwaer Samaria.
34 Canys ti [x] a yfi, ac a sugni o hono;
drylli hefyd ei ddarnau ef, ac a dynni ym-
aith dy fronnau dy hun: canys myfi a'i lle-
ferais, medd yr Arglwydd Dduw.
35 Am hynny fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw, O herwydd it' [y] fy ang-
hofio, [z] a'm bwrw o honot tu ol i'th gefn;
am hynny dwg dithau dy ysgelerder a'th
butteindra.
36 ¶ Dywedodd yr Arglwydd hefyd
wrthyf, A [a] ‖ ferni di, fab dyn, Aholah
ac Aholibah? ïe, mynega iddynt eu ffieidd-
dra;
37 Iddynt dorri prïodas, a [b] *bod* 'gwaed
yn eu dwylaw, ïe, gyd â'u heilunod y put-
teiniasant; [c] eu meibion hefyd y rhai a
blantasant i mi, a dynnasant trwy *dân* id-
dynt i'w hysu.
38 Gwnaethant hyn ychwaneg i mi; fy
nghyssegr a aflanhasant yn y dydd hwnnw,
[d] a'm sabbothau a halogasant.
39 Canys pan laddasant eu meibion i'w
heilunod, yna y daethant i'm cyssegr yn y
dydd hwnnw, i'w halogi ef; ac wele, [e] fel
hyn y gwnaethant ynghanol fy nhŷ.
40 A hefyd gan anfon o honoch am wŷr
† i ddyfod o bell, y rhai yr anfonwyd cen-
nad attynt, ac wele daethant; er mwyn pa
rai yr ymolchaist, y lliwiaist dy lygaid, ac
yr ymherddaist â harddwch.
41 Eisteddaist hefyd ar [f] wely anrhy-
deddus, a bord drefnus o'i flaen, [g] a gosod-
aist arno fy arogl-darth a'm holew i.
42 A llais tyrfa heddychol *oedd* gyd â hi:
a chyd â'r ‡ cyffredin y dygwyd y § Sabeaid
o'r anialwch, y rhai a roddasant freichledau
am eu dwylaw hwynt, a choronau hyfryd
am eu pennau hwynt.
43 Yna y dywedais wrth yr hen ei phut-
teindra, A wnant hwy yn awr butteindra
gyd â hi, a hithau *gyd â hwythau?*
44 Etto aethant atti fel myned at buttein-
wraig; felly yr aethant at Aholah ac Aho-
libah, y gwragedd ysgeler.
45 ¶ A'r gwŷr cyfiawn hwythau [h] a'u
barnant hwy â barnedigaeth putteiniaid,
ac â barnedigaeth rhai yn tywallt gwaed:
canys putteinio y maent, a gwaed *sydd* yn
eu dwylaw.
46 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw, [i] Dygaf i fynu dyrfa arnynt hwy,
a rhoddaf hwynt ‖ i'w mudo ac i'w han-
rheithio.
47 A'r dyrfa a'u llabyddiant hwy â meini,
ac a'u † torrant hwy â'u cleddyfau: eu mei-
bion a'u merched a laddant, a'u tai a losgant
â thân.
48 Fel hyn [k] y gwnaf finnau i 'sgelerder
beidio o'r wlad, fel y dysgir yr holl wragedd
na wnelont yn ol eich ysgelerder chwi.
49 A hwy a roddant eich ysgelerder i'ch
erbyn, a chwi a ddygwch bechodau eich eilu-
nod; ac [l] a gewch wybod mai myfi *yw* yr Ar-
glwydd Dduw.

PEN. XXIV.

1 *Trwy ddammeg o grochan berwedig,* 6 *y
dangosir sicr ddinystr Jerusalem.* 15 *Trwy*

[u] Jer. 25. 15, &c.
[x] Psal. 75. 8. Esay 51. 17.
[y] Jer. 2. 32. a 3. 21. a 13. 25. Pen. 22. 12.
[z] 1 Bren. 14. 9. Neh. 9. 26.
[a] Pen. 20. 4. a 22. 2.
‖ Neu, *ddadleui di, fab dyn, tros,* &c.
[b] Pen. 16. 38.
[c] Pen. 16. 20, 36, 45. a 20. 26, 31.
[d] Pen. 22. 8.
[e] 2 Bren. 21. 4.
† Heb. *yn dyfod.*
[f] Est. 1. 6. Amos 2. 8. a 6. 4.
[g] Diar. 7. 17.
‡ Heb. *rhai o amlder dynion.*
§ Neu, *meddwon.*
[h] Pen. 16. 38.
[i] Pen. 16. 40.
‖ Heb. *yn symmudfa ac yn anrhaith.*
† Neu, *neillduant,* neu, *ysgythrant.*
[k] Pen. 22. 15.
[l] Pen. 20. 38, 42, 44. a 25. 5.
Sul 18 ar ol y Drindod, P.

*fod Ezeciel heb alaru am farwolaeth ei
wraig. 19 y dangosir bod gofid yr Iuddew-
on y tu hwnt i bob tristwch.*

590. DRACHEFN yn y nawfed flwyddyn, yn
y degfed mis, ar y degfed *dydd* o'r
mis, y daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan
ddywedyd,
2 Ysgrifena it' enw y dydd hwn, fab dyn,
ïe corph y dydd hwn: ymosododd brenhin
a Jer. 52. 4 Babilon yn erbyn Jerusalem a o fewn corph
y dydd hwn.
3 A thraetha ddïareb wrth y tŷ gwrthry-
felgar, a dywed wrthynt, Fel hyn y dywed
b Edrych Jer. 1. 13. Pen. 11. 3. yr ARGLWYDD DDUW; b Gosod y crochan,
gosod, a thywallt hefyd ddwfr ynddo.
4 Casgl ei ddryllìau iddo, pob dryll teg,
y morddwyd, a'r ysgwyddog; llanw *ef* â'r
dewis esgyrn.
† Neu, pentyrra. 5 Cymmer ddewis o'r praidd, a † chynneu
yr esgyrn dano, *a* berw ef yn ferwedig; ïe,
berwed ei esgyrn o'i fewn.
6 ¶ Am hynny'r ARGLWYDD DDUW a
c Pen. 22. 3. ddywed fel hyn, c Gwae ddinas y gwaed, y
‡ orferw. crochan yr hwn *y mae* ei ‡ yscùm ynddo, ac
nid aeth ei yscùm allan o hono: tynn ef
allan bob yn ddryll, na syrthied coelbren
arno.
7 O herwydd ei gwaed sydd yn ei cha-
nol: ar goppa craig y gosododd hi ef;
d Lef. 17. 13. d ni's tywalltodd ar y ddaear, i fwrw arno
lwch:
8 I beri i lid godi i wneuthur dïal;
rhoddais ei gwaed hi ar goppa craig, rhag ei
guddio.
9 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
e Nah. 3. 1. Hab. 2. 12. GLWYDD DDUW, e Gwae ddinas y gwaed:
minnau a wnaf ei thanllwyth yn fawr.
10 Amlhâ'r coed, cynneu'r tân, difa'r
cig, a gwna goginiaeth, a llosger yr esgyrn.
11 A dod ef ar ei farwor yn wag, fel
y twymno, ac y llosgo ei bres, ac y
toddo ei aflendid ynddo, *ac* y darfyddo
ei yscùm.
12 Ymflinodd â chelwyddau, ac nid aeth
ei yscùm mawr allan o honi: yn tân *y bwrir*
ei yscùm hi.
13 Yn dy aflendid *y mae* ysgelerder: o
herwydd glanhâu o honof di, ac nid wyt
lân, o'th aflendid ni'th lanheir mwy, hyd
f Pen. 16. 42. f oni pharwyf i'm llid orphwys arnat.
14 Myfi yr ARGLWYDD a'i lleferais:
g Pen. 5. 11. daw, a gwnaf; nid af yn ol, ac g nid ar-
bedaf, ac nid edifarhâf. Yn ol dy ffyrdd,
ac yn ol dy weithredoedd y barnant di,
medd yr ARGLWYDD DDUW.
15 ¶ A gair yr ARGLWYDD a ddaeth
attaf, gan ddywedyd,
16 Wele, fab dyn, fi yn cymmeryd oddi
wrthyt ddymuniant dy lygaid â dyrnod:
etto na alara ac na wyla, ac na ddeued dy
ddagrau.
17 Taw â llefain, na wna farwnad;
h Edrych Lef. 10. 6. a 21. 10. h rhwym dy gap am dy ben, a dod dy esgid-
iau am dy draed, ac na chau ar *dy* § enau,
2 Sam. 15. 30. na fwytta chwaith fara dynion.
Mich. 3. 7. Jer. 16. 5, 7. 18 Felly y lleferais wrth y bobl y bore;
a bu farw fy ngwraig yn yr hwyr: a gwneu-
thum y bore dranoeth fel y gorchymyn-
§ Heb. wefus uchaf. asid i mi.
19 ¶ A'r bobl a ddywedasant wrthyf,
Ac felly adn. 22. Oni fynegi i ni beth *yw* hyn i ni, gan it'
wneuthur *felly?*
20 Yna y dywedais wrthynt, Gair yr
ARGLWYDD a ddaeth attaf, gan ddy-
wedyd,
21 Dywed wrth dŷ Israel, Fel hyn y
dywed yr ARGLWYDD DDUW, Wele fi yn
halogi fy nghyssegr, godidowgrwydd eich
nerth, dymuniant eich llygaid, ‖ ac anwyl- ‖ Heb. a thosturi.
dra eich enaid; a'ch meibion a'ch merched,
y rhai a adawsoch, a syrthiant gan y cled-
dyf.
22 Ac fel y gwneuthum i, y gwnewch
chwithau; i ni chauwch ar *eich* geneuau, ac i Jer. 16. 6, 7.
ni fwyttêwch fara dynion. Adn. 17.
23 *Byddwch* â'ch capiau am eich pen-
nau, a'ch esgidiau am eich traed: k ni k Job 27. 15.
alerwch, ac ni wylwch; ond l am eich an- Psal. 78. 64.
wiredd y dihoenwch, ac ocheneidiwch bob l Lef. 26. 39.
un wrth ei gilydd. Pen. 33. 10.
24 Felly m y mae Ezeciel yn arwydd i m Pen. 12. 6.
chwi: yn ol yr hyn oll a wnaeth efe y
gwnewch chwithau: a phan ddelo hyn,
n chwi a gewch wybod mai myfi *yw*'r AR- n Pen. 6. 7. a 25. 5.
GLWYDD DDUW.
25 Tithau fab dyn, *onid* yn y dydd y
cymmeraf oddi wrthynt eu nerth, llawen-
ydd eu gogoniant, dymuniant eu llygaid,
† ac anwyldra eu henaid, eu meibion a'u † Heb. dyrchafiad.
merched;
26 o Y dydd hwnnw y daw yr hwn a o Pen. 33. 21, 22.
ddïango, attat, i beri it' ei glywed â'*th*
glustiau?
27 Yn y dydd hwnnw p yr agorir dy p Pen. 3. 26, 27.
safn wrth yr hwn a ddïango; lleferi hefyd,
ac ni byddi fud mwy: a byddi iddynt yn
arwydd; fel y gwypont mai myfi *yw* yr
ARGLWYDD.

## PEN. XXV.

1 *Dial Duw ar yr Ammoniaid, am eu rhyfyg
yn erbyn yr Iuddewon; 8 ac ar Moab a
Seir, 12 ac ar Edom, 15 ac ar y Phi-
listiaid.*

A Gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf, gan 590.
ddywedyd,
2 Ha fab dyn, gosod dy wyneb a yn er- a Jer. 49. 1, &c.
byn meibion Ammon, a phrophwyda yn eu Pen. 21. 28.
herbyn hwynt; Amos 1. 13.
3 A dywed wrth feibion Ammon, Gwran- Seph. 2. 9.
dêwch air yr ARGLWYDD DDUW; Fel hyn
y dywed yr ARGLWYDD DDUW, b Am b Pen. 26. 2.
ddywedyd o honot, Haha, yn erbyn fy
nghyssegr, pan halogwyd: ac yn erbyn tir
Israel, pan anrheithiwyd; ac yn erbyn tŷ
Judah, pan aethant mewn caethglud:
4 Am hynny wele fi yn dy roddi di yn
etifeddiaeth i feibion y dwyrain, fel y go-
sodant eu palasau ynot, ac y gosodant eu
pebyll o'th fewn: hwy a fwytant dy ffrwyth,
a hwy a yfant dy laeth.
5 Rhoddaf hefyd Rabbah yn drigfa ca-
melod, a meibion Ammon yn orweddfa
defaid: c fel y gwypoch mai myfi *yw* yr c Pen. 24. 24. a 35. 9.
ARGLWYDD.
6 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
DDUW; O herwydd d taro o honot *dy* d Job 27. 23.
† ddwylaw, a churo o honot â'th ‡ draed, a Galar. 2. 15.
llawenychu o honot yn *dy* § galon â'th holl
ddirmyg yn erbyn tir Israel; Seph. 2. 15.
7 Am hynny wele, mi a estynaf fy llaw † Heb. law.
arnat, ac a'th roddaf yn ‖ ysglyfaeth i'r cen-
hedloedd, ac a'th dorraf ymaith o fysg y ‡ Heb. droed.
bobloedd, ac a'th ddifethaf o'r tiroedd: di-
nystriaf di; fel y gwypech mai myfi *yw* yr § Heb. enaid.
ARGLWYDD. ‖ Neu, yspail.
8 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
DDUW; e Am ddywedyd o Moab a Seir, e Esay 15. a 16.
Wele dŷ Judah fel yr holl genhedloedd:
9 Am hynny wele fi yn agori † ystlys Jer. 48. 1, &c.
Moab o'r dinasoedd, o'i ddinasoedd ef *y* Amos 2. 1.
*rhai sydd* yn ei gyrrau, gogoniant y wlad † Heb. ysgwydd.
Beth-jesimoth, Baal-meon, a Ciriathaim,

10 I feibion y dwyrain † ynghŷd â meibion Ammon, a rhoddaf hwynt yn etifeddiaeth; fel f na chofier meibion Ammon ym mysg y cenhedloedd.

11 Gwnaf farn hefyd ar Moab; fel y gwypont mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

12 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; g Am i Edom wneuthur yn erbyn tŷ Judah wrth ‡ wneuthur dïal, a gwneuthur camwedd mawr, ac ymddïal arnynt;

13 Am hynny, medd yr ARGLWYDD DDUW, yr estynaf innau fy llaw ar Edom, a thorraf o honi ddyn ac anifail; a gwnaf hi yn anrhaith o Teman; § a'r rhai o Ddedan a syrthiant gan y cleddyf.

14 A h rhoddaf fy nïaledd ar yr Edomiaid trwy law fy mhobl Israel: a hwy a wnant ag Edom yn ol fy nigllonedd, ac yn ol fy llid; fel y gwypont fy nïaledd, medd yr ARGLWYDD DDUW.

15 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; i Am wneuthur k o'r Philistiaid trwy ddïal, a dïalu dïal trwy ddirmyg calon, i'*w* dinystrio || am yr hen gas;

16 Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Wele l fi yn estyn fy llaw ar y Philistiaid, a thorraf ymaith y Cerethiaid, a difethaf weddill porthladd y môr.

17 A gwnaf arnynt † ddïaledd mawr trwy gerydd llidiog; a chant wybod mai myfi *yw*'r ARGLWYDD, pan roddwyf fy nïaledd arnynt.

† Neu, *yn erbyn meibion Ammon.*
f Pen. 21. 32.
g Psal. 137. 7. Jer. 49. 7, 8. Pen. 35. 2. Amos 1. 11. Obad. 11. 1 Esd. 4. 45.
‡ Heb. *ddial dial.*
§ Neu, *hyd Ddedan y syrthiant, &c.*
h 1 Mac. 5. 3. 2 Mac. 10. 16, 17.
Edrych Esay 11. 14. Jer. 49. 2.
i Jer. 25. 20. a 47. 2. Amos 1. 6.
k 2 Chron. 28. 18.
|| Neu, *â chas tragywyddol.*
l Seph. 2. 4, &c.
† Heb. *ddïaleddau.*

## PEN. XXVI.

1 *Bygwth Tyrus, am ei rhyfyg yn erbyn Jerusalem.* 7 *Gallu Nebuchodonosor yn ei herbyn hi.* 15 *Cwynfan a syndod y môr, o herwydd ei chwymp hi.*

588.

AC yn yr unfed flwyddyn ar ddeg, ar y *dydd* cyntaf o'r mis, y daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan ddywedyd,

2 Ha fab dyn, a o herwydd dywedyd o Tyrus am Jerusalem, b Aha, torrwyd hi, pyrth y bobloedd: trodd attaf fi: fo'm llenwir; anrheithiedig yw hi:

3 Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Wele fi i'th erbyn, O Tyrus, a chodaf genhedloedd lawer i'th erbyn, fel y cyfyd y môr ei donnau.

4 A hwy a ddinystriant geurydd Tyrus, a'i thyrau a ddinystriant: minnau a grafaf ei llwch o honi, ac a'i gwnaf yn goppa craig.

5 Yn daenfa rhwydau y bydd ynghanol y môr: canys myfi a lefarodd *hyn*, medd yr ARGLWYDD DDUW: a hi a fydd yn yspail i'r cenhedloedd.

6 Ei merched hefyd y rhai *sydd* yn y maes a leddir â'r cleddyf; fel y gwypont mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

7 ¶ Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Wele fi yn dwyn ar Tyrus, o'r gogledd, Nebuchodonosor brenhin Babilon, c brenhin brenhinoedd, â meirch, ac â cherbydau, ac â marchogion, a thorfoedd, a phobl lawer.

8 Dy ferched a ladd efe yn y maes â'r cleddyf; ac a † esyd wrthglawdd i'th erbyn, ac a fwrw glawdd i'th erbyn, ac a gyfyd darian i'th erbyn.

9 Ac efe a esyd beiriannau rhyfel yn erbyn dy geurydd, a'th dyrau a fwrw efe i lawr â'i fwyill.

10 Gan amlder ei feirch ef, eu llwch a'th doa: dy geurydd a gynhyrfant gan swn y marchogion, a'r olwynion, a'r cerbydau, pan ddelo trwy dy byrth di, fel dylod i ddinas adwyog.

11 A charnau ei feirch y sathr efe dy heolydd oll: dy bobl a ladd efe â'r cleddyf, a'th sefyll-fannau cedyrn a ddisgyn i'r llawr.

12 A hwy a anrheithiant dy gyfoeth, ac a yspeiliant dy farchnadaeth; ac a ddinystriant dy geurydd, a'th dai dymunol a dynnant i lawr: a'th gerrig, a'th goed, a'th bridd, a osodant ynghanol y dyfroedd.

13 d A gwnaf i swn e dy ganiadau beidio; ac ni chlywir mwy lais dy delynau.

14 A gwnaf di yn goppa craig: taenfa rhwydau fyddi; ni'th adeiledir mwy: canys myfi'r ARGLWYDD a'i lleferais, medd yr ARGLWYDD DDUW.

15 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW wrth Tyrus; Oni chryn yr ynysoedd gan swn dy gwymp, pan waeddo'r archolledig, pan ladder lladdfa yn dy ganol?

16 Yna f holl dywysogion y môr a ddisgynant o'u gorsedd-feingciau, ac a fwriant ymaith eu mantelloedd, ac a ddïosgant eu gwisgoedd symmudliw: ‡ dychryn a wisgant, ar y ddaear yr eisteddant, ac a ddychrynant ar *bob* moment, ac a synnant wrthyt.

17 Codant hefyd g alarnad am danat, a dywedant wrthyt, Pa fodd y'th ddifethwyd, *yr hon* a breswylir § gan forwŷr, y ddinas ganmoladwy, yr hon oedd gref ar y môr, hi a'i thrigolion, y rhai a roddasant eu harswyd ar ei holl ymdeithwŷr hi!

18 Yr awr hon yr ynysoedd a ddychrynant *yn* nydd dy gwymp; ie'r ynysoedd y rhai *sydd* yn y môr a drallodir wrth dy fynediad di ymaith.

19 Canys fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Pan roddwyf di yn ddinas anrheithiedig, fel y dinasoedd ni's cyfanneddir; gan ddwyn arnat y dyfnder, fel y'th guddio dyfroedd lawer;

20 A'th ddisgyn o honof gyd â'r rhai a ddisgynant i'r pwll, at y bobl gynt, a'th osod yn iselderau'r ddaear, yn yr hen anrhaith, gyd â'r rhai a ddisgynant i'r pwll, fel na'th breswylier; a rhoddi o honof ogoniant yn nhir y rhai byw:

21 h Gwnaf di yn || ddychryn, ac ni *byddi*: er dy geisio, ni'th geir mwy, medd yr ARGLWYDD DDUW.

a Esay 23. Jer. 25. 22. a 47. 4. Amos 1. 9. Zech. 9. 2.
b Pen. 25. 3.
c Ezra 7. 12. Dan. 2. 37.
† Neu, *dyaallt offer ergydio.*
d Esay 24. 8. Jer. 7. 34. a 10. 9.
e Esay 23. 16. Pen. 28. 13.
f Pen. 32. 10.
‡ Heb. *dychryniadau.*
g Dat. 18. 9.
§ Heb. *gan y moroedd.*
h Pen. 27. 36. a 28. 19
|| Heb. *ddychryniadau.*

## PEN. XXVII.

1 *Cyfoeth Tyrus;* 26 *a'i hanfad gwymp.*

GAIR yr ARGLWYDD a ddaeth attaf drachefn, gan ddywedyd, 588.

2 Titbau fab dyn, cyfod alarnad am Tyrus;

3 A dywed wrth Tyrus, O dydi yr hon wyt yn trigo wrth borthladdoedd y môr, marchnadyddes y bobloedd i ynysoedd lawer, fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Tyrus, ti a ddywedaist, a Myfi *wyf* berffaith o degwch.

4 Dy derfynau *sydd* † ynghanol y môr; dy adeiladwŷr a berffeithiasant dy degwch.

5 Adeiladasant dy holl ystyllod o ffynnidwŷdd o Senir: cymmerasant gedrwŷdd o Libanus i wneuthur hwylbren i ti.

6 Gweithiasant rwyfau *o* dderw o Basan: ‡ mintai'r Assuriaid § a wnaethant dy feingciau *o* ifori o ynysoedd Chittim.

7 Llïain main o'r Aipht o symmudliw oedd yr hyn a ledit i fod yn hwyl it'; || glas a phorphor o ynysoedd Elisah, oedd dy do.

a Pen. 28. 12.
† Heb. *ynghalon.*
‡ Heb. *merch yr Assuriaid.*
§ Neu, *gwnaethant dy fyrddiadau o ifori wedi ei sathru yn ddo.*
|| Neu, *porphor ac ysgarlad.*

8 Trigolion Sidon ac Arfad oedd dy rwyf-
wŷr: dy ddoethion di, Tyrus, o'th fewn,
oedd dy long-lywiawdwŷr.
9 Henuriaid Gebal a'i doethion oedd ynot
* Heb. *cadarnhâu dy rwygiadau.* yn † cau dy agennau: holl longau 'r môr
â'u llongwŷr oedd ynot ti i farchnatta dy
farchnad.
10 Y Persiaid, a'r Ludiaid, a'r Phutiaid,
oedd ryfelwŷr it' yn dy luoedd: tarian a
helm a grogasant ynot; hwy a roddasant
it' harddwch.
11 Meibion Arfad *oedd* gyd â'th luoedd ar
dy gaerau oddi amgylch, a'r Gammadiaid
yn dy dyrau: crogasant eu tariannau ar dy
gaerau oddi amgylch; hwy a berffeithiasant
dy degwch.
12 Tarsis *oedd* dy farchnadyddes o her-
wydd amldra pob golud; ag arian, haiarn,
alcam, a phlwm, y marchnattasant yn *dy*
ffeiriau.
13 Jafan, Tubal, a Mesech, hwythau *oedd*
dy farchnadyddion: marchnattasant *yn* dy
‡ Neu, *farsiandiaeth.* ‡ farchnad am ddynion a llestri pres.
14 *Y rhai* o dŷ Togarmah a farchnattasant
*yn* dy ffeiriau â meirch, a marchogion, a
mulod.
15 Meibion Dedan *oedd* dy farchnadwŷr;
ynysoedd lawer *oedd* farchnadoedd dy law:
dygasant gyrn ifori ac ebenus yn anrheg i ti.
§ *Syria.* 16 § Aram *oedd* dy farchnadydd o her-
wydd amled pethau o'th waith di: am
garbuncl, porphor, a gwaith edau a nod-
wydd, *a* lliain meinllin, a chwrel, a gem-
mau, y marchnattasant *yn* dy ffeiriau.
17 Judah a thir Israel, hwythau *oedd* dy
farchnadyddion: marchnattasant *yn* dy
b 1 Bren. 5. 9, 11. Ezra 3. 7. Act. 12. 20. farchnad b am wenith Minnith, a Phan-
nag, a mel, ac olew, a ‖ thrïagl.
18 Damascus *oedd* dy farchnadydd yn
‖ Neu, *balm,* neu, *ystor.* amlder dy waith o herwydd lliaws pob
golud; am win Helbon, a gwlan gwyn.
19 Dan hefyd a † Jafan yn cyniwair a
† Neu, *Meuzal.* farchnattasant yn dy farchnadoedd: haiarn
wedi ei weithio, cassia, a'r calamus, oedd
yn dy farchnad.
20 Dedan *oedd* dy farchnadydd mewn
‡ Neu, *rhyddid.* brethynau ‡ gwerthfawr i gerbydau.
21 Arabia, a holl dywysogion c Cedar,
c Esay 60. 7. *oedd* hwythau farchnadyddion § it' am ŵyn,
hyrddod, a bychod: yn y rhai hyn *yr oedd*
§ Heb. *dy law.* dy farchnadyddion.
22 Marchnadyddion Seba a Ramah, hwy-
thau *oedd* dy farchnadyddion: marchnatta-
sant *yn* dy ffeiriau am bob prif ber-aroglau,
ac am bob maen gwerthfawr, ac aur.
23 Haran, a Channeh, ac Eden, marchnad-
yddion Seba, Assur, *a* Chilmad, *oedd* yn
marchnatta â thi.
‖ Neu, *am bethau gwlidog,* neu, *am bob math ar bethau.* 24 Dyma dy farchnadyddion ‖ am *bethau*
perffaith, am frethynau † gleision, a gwaith
edau a nodwydd, ac am gistiau gwisgoedd
gwerthfawr, wedi eu rhwymo â rhaffau,
† Heb. *plygiadau.* a'u gwneuthur o gedrwŷdd ym mysg dy
farchnadaeth.
‡ Neu, *bennaf yn dy farchnad.* 25 Llongau Tarsis *oedd* ‡ yn canu am
danat yn dy farchnad; a thi a lanwyd, ac a
ogoneddwyd yn odiaeth ynghanol y mor-
oedd.
26 ¶ Y rhai a'th rwyfasant a'th ddygasant
d Psal. 48. 7. i ddyfroedd lawer: d gwynt y dwyrain a'th
§ Heb. *ynghalon.* ddrylliodd § ynghanol y moroedd.
27 Dy e olud, a'th ffeiriau, dy farchnad-
e Dat. 18. 9, &c. aeth, dy forwŷr, a'th feistraid llongau, cy-
weirwŷr dy agennau, a marchnadwŷr dy
‖ Neu, *gyd â'th holl, &c.* farchnad, a'th ryfelwŷr oll y rhai *sydd* yn-
ot, ‖ a'th holl gynnulleidfa yr hon *sydd* yn
dy ganol, a syrthiant † ynghanol y môr, ar † Heb. *ynghalon.*
ddydd dy gwymp di.
28 Wrth lef gwaedd dy feistraid llongau,
y ‡ tonnau a gyffroant. ‡ Neu, *pentrefydd.*
29 Yna pob rhwyfwr, y morwŷr, holl
lywyddion y moroedd, a ddisgynant o'u
llongau, ar y tir y safant;
30 A gwnant glywed eu llef am danat, a
gwaeddant yn chwerw, a f chodant lwch ar f Iob 2. 12.
eu pennau, ac g ymdrybaeddant yn y lludw.
31 A hwy a'u gwnant eu hunain yn foel- g Eph. 4. 1, 3.
ion am danat, ac a ymwregysant â sach- Jer. 6. 26.
lïain, ac a wylant am danat â chwerw alar,
*mewn* chwerwedd calon.
32 A chodant am danat alarnad yn eu
cwynfan, a galarant am danat, *gan ddy-
wedyd,* Pwy *oedd* fel Tyrus, fel yr hon a
ddinystriwyd ynghanol y môr!
33 Pan ddelai dy farchnadaeth o'r mor-
oedd, diwellit bobloedd lawer; ag amlder
dy olud a'th farchnadaeth y cyfoethogaist
frenhinoedd y ddaear.
34 Y pryd h y'th dorrer gan y môr yn h Pen. 26. 19.
nyfnderau 'r dyfroedd, dy farchnad a'th holl
gynnulleidfa a syrthiant yn dy ganol.
35 Holl breswylwŷr yr ynysoedd a syn-
nant am danat, a'u brenhinoedd a ddy-
chrynant ddychryn; hwy a drallodir yn *eu*
hwynebau. § Heb. *dychryniadau.*
36 Y marchnadyddion ym mysg y bobl-
oedd a chwibanant arnat: § i dychryn
fyddi, ac ni *byddi* byth mwyach. i Pen. 26. 21.

PEN. XXVIII.

1 *Barnedigaeth Duw ar dywysog Tyrus, am ei falchder yn erbyn Duw.* 11 *Cwynfan am fod ei fawr ogoniant ef wedi ei lygru gan bechod.* 20 *Barnedigaeth Sidon.* 24 *Adferu Israel.*

DAETH gair yr ARGLWYDD attaf dra- 588.
chefn, gan ddywedyd,
2 Ha fab dyn, dywed wrth dywysog
Tyrus, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
DDUW; Am falchïo dy galon, a dywedyd
o honot, DUW *ydwyf* fi, eistedd yr ydwyf
*yn* eisteddfa DUW † ynghanol y moroedd; † Heb. *ynghalon.*
a a thi yn ddyn, ac nid yn DDUW, er go-
sod o honot dy galon fel calon DUW: a Esay 31. 3.
3 Wele b di yn ddoethach nâ Daniel; ni
chuddir dim dirgelwch oddi wrthyt: b Zech. 9. 2.
4 Trwy dy ddoethineb a'th ddeallgarwch
y cefaist gyfoeth it', ïe, y cefaist aur ac ar-
ian i'th drysorau:
5 c Trwy ‡ dy fawr ddoethineb *ac* wrth dy c Psal. 62. 10.
farchnadaeth yr amlheaist dy gyfoeth, a'th
galon a falchïodd o herwydd dy gyfoeth: ‡ Heb. *amlder dy ddoethineb.*
6 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD DDUW; Am osod o honot dy
galon fel calon DUW,
7 O herwydd hynny wele fi yn dwyn i'th
erbyn ddïeithriaid, d y trawsaf o'r cenhedl- d Pen. 30. 11. a 31. 12. a 32. 12.
oedd; a thynnant eu cleddyfau ar degwch
dy ddoethineb, a halogant dy loywder.
8 Disgynant di i'r ffos, a byddi farw o
farwolaeth yr archolledig ynghanol y môr.
9 Gan ddywedyd a ddywedi di o flaen
dy leiddiad, DUW *ydwyf* fi? a thi *a fyddi*
yn ddyn, ac nid yn DDUW, yn llaw dy
§ leiddiad. § Neu, *archollydd.*
10 Byddi farw o farwolaeth y dïenwaed-
edig, trwy law dïeithriaid: canys myfi a'i
dywedais, medd yr ARGLWYDD DDUW.
11 ¶ Gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf
drachefn, gan ddywedyd,
12 Cyfod, fab dyn, alarnad am frenhin
Tyrus, a dywed wrtho, Fel hyn y dywed

yr Arglwydd Dduw; Ti seliwr nifer, llawn
o ddoethineb, a chyflawn o degwch:
13 Ti a fuost yn [e] Eden, gardd Duw:
pob maen gwerthfawr a'th orchuddiai, † sar-
dius, tophas, ac adamant, beryl, onix, a jas-
pis, saphir, rubi, a smaragdus, ac aur:
gwaith [f] dy dympanau a'th bibellau a barot-
towyd ynot ar y dydd y'th grewyd.
14 Cherub enneiniog *ydwyt* yn gorchud-
dio; ac *felly* y'th roddaswn; oeddit ar sanc-
taidd fynydd Duw: ymrodiaist ynghanol y
cerrig tanllyd.
15 Perffaith *oeddit* ti yn dy ffyrdd er y
dydd y'th grewyd, hyd oni chaed ynot an-
wiredd.
16 Yn amlder dy farchnadaeth y llanw-
asant dy ganol â thrais, a thi a bechaist: am
hynny y'th halogaf allan o fynydd Duw, ac
y'th ddifethaf di, gerub yn gorchuddio, o
ganol y cerrig tanllyd.
17 Balchïodd dy galon yn dy degwch,
llygraist dy ddoethineb o herwydd dy loyw-
der: bwriaf di i'r llawr; o flaen brenhin-
oedd y'th osodaf, fel yr edrychont arnat.
18 Trwy amlder dy anwiredd, ag anwi-
redd dy farchnadaeth, yr halogaist dy gys-
segroedd: am hynny y dygaf dân allan o'th
ganol, hwnnw a'th ysa; a gwnaf di yn lludw
ar y ddaear yngolwg pawb a'th welant.
19 Y rhai a'th adwaenant oll ym mysg y
bobloedd, a synnant o'th achos: [g] ‡ dy-
chryn fyddi, ac ni *byddi* byth.
20 ¶ Yna gair yr Arglwydd a ddaeth
attaf, gan ddywedyd,
21 Gosod, fab dyn, dy wyneb [h] yn erbyn
Sidon, a phrophwyda yn ei herbyn hi,
22 A dywed, Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Wele fi i'th erbyn, Sidon;
fel y'm gogonedder yn dy ganol, ac y gwy-
pont mai myfi *yw* yr Arglwydd, pan
wnelwyf ynddi farnedigaethau, ac y'm sanc-
teiddier ynddi.
23 Canys anfonaf iddi haint, a gwaed i'w
heolydd; a bernir yr archolledig o'i mewn
â'r cleddyf, *yr hwn fydd* arni oddi amgylch;
a chânt wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd.
24 ¶ Ac ni bydd mwy i dŷ Israel, o'r
holl rai o'u hamgylch a'r a'u dirmygasant,
[i] ysbyddaden bigog, na draenen ofidus; a
chânt wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd
Dduw.
25 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Pan gasglwyf dŷ Israel o fysg y
bobloedd y rhai y gwasgarwyd hwy yn eu
plith, ac yr ymsancteiddiwyf ynddynt yng-
olwg y cenhedloedd; yna y trigant yn eu
gwlad a roddais i'm gwas Jacob.
26 Ie, trigant ynddi § yn ddiogel, ac
adeiladant dai, a [k] phlannant winllannoedd;
a phreswyliant mewn diogelwch, pan wnel-
wyf farnedigaethau â'r rhai oll a'u ‖ dirmy-
gant hwy o'u hamgylch; fel y gwypont mai
myfi *yw* yr Arglwydd eu Duw.

## PEN. XXIX.

1 *Barnedigaeth Pharaoh, am ei fradwriaeth i Israel.* 8 *Dinystr yr Aipht;* 13 *a'i hadferu ym mhen deugain mlynedd.* 17 *Nebuchodonosor yn cael yr Aipht yn gyflog ac yn wobr am gospi Tyrus.* 21 *Yr adferir Israel.*

589. YN y degfed *mis* o'r ddegfed flwyddyn,
ar y deuddegfed *dydd* o'r mis, y daeth
gair yr Arglwydd attaf, gan ddywedyd,
2 Gosod, fab dyn, dy wyneb [a] yn er-
byn Pharaoh brenhin yr Aipht, a proph-

[e] Pen. 31. 8, 9. † Neu, *rubi.* [f] Pen. 26. 13. [g] Pen. 26. 21. a 27. 36. ‡ Heb. *dychryniadau.* [h] Esay 23. 4, 12. Jer. 25. 22. a 47. 3. [i] Num. 33. 55. Jos. 23. 13. § Neu, *mewn hyder.* [k] Jer. 31. 5. ‖ Neu, *anrheithiant.* [a] Jer. 44. 30.

wyda yn ei erbyn ef, ac [b] yn erbyn yr
Aipht oll.
3 Llefara, a dywed, Fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Wele fi i'th erbyn, Pha-
raoh brenhin yr Aipht, [c] y ddraig fawr yr
hwn sydd yn gorwedd ynghanol ei afonydd,
yr hwn a ddywedodd, Eiddof fi *yw* fy afon,
a mi a'i gwneuthum *hi* i mi fy hun.
4 Eithr [d] gosodaf fachau yn dy fochgern-
au, a gwnaf i bysgod dy afonydd lynu yn
dy emmau, a chodaf di o ganol dy afonydd;
ie, holl bysgod dy afonydd a lynant wrth
dy emmau.
5 A mi a'th adawaf yn yr anialwch, ti a
holl bysgod dy afonydd: syrthi ar wyneb y
maes, ni'th gesglir, ac ni'th gynhullir; i
fwystfilod y maes ac i ehediaid y nefoedd
y'th roddais yn ymborth.
6 A holl drigolion yr Aipht a gânt wy-
bod mai myfi *yw* yr Arglwydd, am id-
dynt fod [e] yn ffon gorsen i dŷ Israel.
7 Pan ymaflasant ynot erbyn dy law, ti a
dorraist, ac a rwygaist eu holl ysgwydd: a
phan bwysasant arnat, ti a dorraist, ac a
wnaethost i'w holl arennau sefyll.
8 ¶ Am hynny fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Wele fi yn dwyn arnat
gleddyf, a thorraf ymaith o honot ddyn ac
anifail.
9 A bydd tir yr Aipht yn ddinystr ac yn
anrhaith; a chânt wybod mai myfi *yw* yr
Arglwydd: am iddo ddywedyd, Eiddof
fi *yw*'r afon, a myfi a'i gwneuthum.
10 Am hynny wele fi yn dy erbyn di, ac
yn erbyn dy afonydd, a gwnaf dir yr Aipht
yn † ddiffaethwch anrheithiedig, *ac* yn an-
ghyfannedd, [f] o dŵr ‡ Syeneh hyd yn nher-
fyn Ethiopia.
11 [g] Ni chynniwair troed dyn trwyddi,
ac ni chynniwair troed anifail trwyddi, ac
ni's cyfanneddir hi ddeugain mlynedd.
12 [h] A mi a wnaf wlad yr Aipht yn
anghyfannedd ynghanol gwledydd anghyf-
anneddol, a'i dinasoedd fyddant yn anghyf-
annedd ddeugain mlynedd ynghanol di-
nasoedd anrheithiedig; a mi a wasgaraf yr
Aiphtiaid ym mysg y cenhedloedd, ac a'u
taenaf hwynt ar hyd y gwledydd.
13 ¶ Etto fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; [i] Ym mhen deugain mlynedd y
casglaf yr Aiphtiaid o fysg y bobloedd lle y
gwasgarwyd hwynt.
14 A dychwelaf gaethiwed yr Aipht, ie,
dychwelaf hwynt *i* dir Pathros, i dir eu
§ preswylfa; ac yno y byddant [k] yn frenhin-
iaeth isel.
15 Isaf fydd o'r brenhiniaethau, ac nid
ymddyrchaif mwy oddi ar y cenhedloedd:
canys lleihâf hwynt, rhag arglwyddiaethu
ar y cenhedloedd.
16 Ac ni bydd hi mwy i dŷ Israel yn
hyder, yn dwyn ar gof *eu* hanwiredd, pan
edrychont hwy ar eu hol hwythau: eithr
cânt wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd
Dduw.
17 ¶ Ac yn y *mis* cyntaf o'r seithfed 573.
flwyddyn ar hugain, ar y *dydd* cyntaf o'r
mis, y daeth gair yr Arglwydd attaf, gan
ddywedyd,
18 Ha fab dyn, Nebuchodonosor bren-
hin Babilon a wnaeth i'w lu wasanaethu
gwasanaeth mawr yn erbyn Tyrus: pob
pen a foelwyd, a phob ysgwydd a ddinoeth-
wyd; ond nid oedd am Tyrus gyflog iddo,
ac i'w lu, am y gwasanaeth a wasanaethodd
efe yn ei herbyn hi:

[b] Esay 19. 1. Jer. 25. 19. a 46. 2. [c] Psal. 74. 13, 14. Esay 27. 1. a 51. 9. Pen. 32. 2. [d] Esay 37. 29. Pen. 38. 4. [e] 2 Bren. 18. 21. Esay 36. 6. † Heb. *ddiffeithfaoedd diffaethfa.* [f] Pen. 30. 6. ‡ Heb. *Sefench.* [g] Pen. 32. 13. [h] Pen. 30. 7. [i] Esay 19. 23. Jer. 46. 26. § Neu, *genedigaeth.* [k] Pen. 17. 6, 14.

19 Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Wele fi yn rhoddi tir yr Aipht i Nebuchodonosor brenhin Babilon, ac efe a gymmer ei lliaws hi, ac a yspeilia ei hyspail hi, ac a ysglyfaetha ei hysglyfaeth hi, fel y byddo hi yn gyflog i'w lu ef.

† Neu, *Yn lle ei gyflog am yr hyn a,* &c.

20 † *Am* ei waith yr hwn a wasanaethodd efe yn ei herbyn hi, y rhoddais iddo dir yr Aipht, o herwydd i mi y gweithiasant, medd yr Arglwydd Dduw.

l Psal. 132. 17.

21 ¶ Yn y dydd hwnnw l y gwnaf i gorn tŷ Israel flaguro, a rhoddaf i tithau agoriad genau yn eu canol hwynt: a chânt wybod mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

PEN. XXX.

1 *Dinystr yr Aipht a'i chynnorthwywŷr.* 20 *Y cadarnhëir braich Babilon i dorri braich yr Aipht.*

572. A Gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf, gan ddywedyd,

2 Prophwyda, fab dyn, a dywed, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Udwch, Och o'r diwrnod!

3 Canys agos dydd; ïe agos dydd yr ARGLWYDD, dydd cymmylog; amser y cenhedloedd fydd efe.

† Neu, *ofn.*

4 A'r cleddyf a ddaw ar yr Aipht, a bydd † gofid blin yn Ethiopia, pan syrthio'r archolledig yn yr Aipht, a chymmeryd o honynt ei lliaws hi, a dinystrio ei seiliau.

‡ Heb. *Phut.*
a Jer. 25. 20, 24.

5 Ethiopia, a ‡ Libya, a Lydia, a a'u gwerin oll, Chub hefyd, a meibion y tir sydd yn y cyfammod, a syrthiant gyd â hwynt gan y cleddyf.

b Pen. 29. 10.

6 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Y rhai sy'n cynnal yr Aipht a syrthiant hefyd, a balchder ei nerth hi a ddisgyn: syrthiant ynddi gan y cleddyf b o dŵr Syeneh, medd yr Arglwydd Dduw.

c Pen. 29. 12.

7 A c hwy a wneir yn anghyfannedd ym mhlith y gwledydd anghyfanneddol, a'i dinasoedd fydd ynghanol y dinasoedd anrheithiedig.

8 A chânt wybod mai myfi *yw* yr ARGLWYDD, pan roddwyf dân yn yr Aipht, ac y torrer ei holl gynnorthwywŷr hi.

d Esay 18. 1, 2.

9 Y dydd hwnnw d cenhadau a ânt allan oddi wrthyf fi mewn llongau, i ddychrynu Ethiopia ddïofal, a bydd gofid blin arnynt fel yn nydd yr Aipht: canys wele ef yn dyfod.

10 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Gwnaf hefyd i liaws yr Aipht ddarfod trwy law Nebuchodonosor brenhin Babilon.

e Pen. 28. 7.

11 Efe a'i bobl gyd ag ef, e y rhai trawsion o'r cenhedloedd, a ddygir i ddifetha'r tir: a hwy a dynnant eu cleddyfau ar yr Aipht, ac a lanwant y wlad â chelanedd.

f Esay 19. 5.

12 f Gwnaf hefyd yr afonydd yn sychder, a gwerthaf y wlad i law y drygionus; ïe, anrheithiaf y wlad a'i chyflawnder trwy law dieithriaid: myfi'r ARGLWYDD a'i dywedodd.

g Jer. 43. 12. & 46. 25. Zech. 13. 2.

13 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; g Difethaf hefyd y delwau, a gwnaf i'r eilunod ddarfod o Noph; ac ni bydd tywysog mwyach o dir yr Aipht: ac ofn a roddaf yn nhir yr Aipht.

§ Neu, *Tanis.*
‖ Neu, *Pelusium.*

14 Pathros hefyd a anrheithiaf, a rhoddaf dân yn § Soan, a gwnaf farnedigaethau yn No.

15 A thywalltaf fy llid ar ‖ Sin, cryfder yr Aipht; ac a dorraf ymaith liaws No.

16 A mi a roddaf dân yn yr Aipht; gan ofidio y gofidia Sin, a No a rwygir, a *bydd ar* Noph gyfyngderau beunydd.

† Neu, *Heliopolis.*
‡ Neu, *Phubastum.*
§ Neu, *yr attelir.*

17 Gwŷr ieuainge † Afen a ‡ Phibeseth a syrthiant gan y cleddyf; ac i gaethiwed yr ânt hwy.

18 Ac ar Tehaphnehes § y tywylla'r diwrnod, pan dorrwyf yno ieuau'r Aipht: a balchder ei chryfder a ddarfydd ynddi: cwmmwl a'i cuddia hi, a'i merched a ânt i gaethiwed.

19 Felly y gwnaf farnedigaethau yn yr Aipht; fel y gwypont mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

20 ¶ Ac yn y *mis* cyntaf o'r unfed flwyddyn ar ddeg, ar y seithfed *dydd* o'r mis, y daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan ddywedyd, 588.

h Jer. 46. 11.

21 Ha fab dyn, torrais fraich Pharaoh brenhin yr Aipht; ac wele, h ni's rhwymir i roddi meddyginiaethau *wrtho,* i osod rhwymyn i'w rwymo, i'w gryfhâu i ddal y cleddyf.

22 Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Wele fi yn erbyn Pharaoh brenhin yr Aipht, a mi a dorraf ei freichiau ef, y cryf, a'r *hwn oedd* ddrylliedig; ac a wnaf i'r cleddyf syrthio o'i law ef.

23 A mi a wasgaraf yr Aiphtiaid ym mysg y cenhedloedd, ac a'u taenaf hwynt ar hyd y gwledydd.

24 A mi a gadarnhâf freichiau brenhin Babilon, ac a roddaf fy nghleddyf yn ei law ef: ond mi a dorraf freichiau Pharaoh, ac efe a ochain o'i flaen ef ag ocheneidiau un archolledig.

25 Ond mi a gadarnhâf freichiau brenhin Babilon, a breichiau Pharaoh a syrthiant; fel y gwypont mai myfi *yw* yr ARGLWYDD, wedi i mi roddi fy nghleddyf yn llaw brenhin Babilon, ac iddo yntau ei estyn ef ar wlad yr Aipht.

26 A mi a wasgaraf yr Aiphtiaid ym mysg y cenhedloedd, ac a'u taenaf hwynt ar hyd y gwledydd; fel y gwypont mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

PEN. XXXI.

1 *Adrodd i Pharaoh* 3 *ogoniant Assyria,* 10 *a'i chwymp am ei balchder.* 18 *Yr un dinystr ar yr Aipht.*

AC yn y trydydd *mis* o'r unfed flwyddyn ar ddeg, ar y *dydd* cyntaf o'r mis, y daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan ddywedyd, 588.

a Adn. 18.

2 Dywed, fab dyn, wrth Pharaoh frenhin yr Aipht, ac wrth ei liaws; a I bwy yr ydwyt debyg yn dy fawredd?

b Dan. 4. 10.

3 ¶ Wele, Assur oedd b gedrwŷdden yn Libanus, yn dêg ei cheingciau, a'i brig yn cysgodi, ac yn uchel ei huchder, a'i brigyn oedd rhwng y tewfrig.

† Neu, *dygasai i fynu.*

4 Dyfroedd a'i maethasai hi, y dyfnder a'i † dyrchafasai, â'i hafonydd yn cerdded o amgylch ei phlanfa, bwriodd hefyd ei ffrydiau at holl goed y maes.

‡ Neu, *yrroad hi hwynt allan.*

5 Am hynny yr ymddyrchafodd ei huchder hi goruwch holl goed y maes, a'i cheingciau a amlhasant, a'i changhennau a ymestynasant, o herwydd dyfroedd lawer, pan ‡ fwriodd hi allan.

c Dan. 4. 12.

6 c Holl ehediaid y nefoedd a nythent yn ei cheingciau hi, a holl fwystfilod y maes a lydnent dan ei changhennau hi; ïe, yr holl genhedloedd llïosog a eisteddent dan ei chysgod hi.

7 Felly teg ydoedd hi yn ei mawredd, yn hyd ei brig; o herwydd ei gwraidd ydoedd wrth ddyfroedd lawer.

d Gen. 2. 8.

8 Y cedrwŷdd d yngardd Duw ni allent ei chuddio hi: y ffynidwŷdd nid oeddynt

debyg i'w choingciau hi, a'r ffawydd nid
oeddent fel ei changhennau hi; ac un pren
yngardd yr Arglwydd nid ydoedd debyg
iddi hi yn ei thegwch.
9 Gwnaethwn hi yn dêg gan lïaws ei chang-
hennau: a holl goed Eden, y rhai *oedd* yng-
ardd Duw, a gynfigennasant wrthi hi.
10 ¶ Am hynny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; O herwydd ymddyr-
chafu o honot mewn uchder, a rhoddi o
honi ei brig ym mysg y tewfrig, ac ym-
ddyrchafu ei chalon yn ei huchder;
11 Am hynny y rhoddais hi yn llaw
cadarn y cenhedloedd: gan wneuthur y
gwna efe iddi; am ei drygioni y bwriais
hi allan.
e Pen. 28. 7. 12 A dïeithriaid, e rhai ofnadwy y cen-
hedloedd, a'i torrasant hi ymaith, ac a'i
gadawsant hi: ar y mynyddoedd ac yn yr
holl ddyffrynoedd y syrthiodd ei brig hi,
a'i changhennau a dorrwyd yn holl afon-
ydd y ddaear; a holl bobloedd y tir a ddi-
sgynasant o'i chysgod hi, ac a'i gadawsant
hi.
13 Holl ehediaid y nefoedd a drigant ar
† Heb. chwymp. ei † chyff hi, a holl fwystfilod y maes a
fyddant ar ei changhennau hi;
14 Fel nad ymddyrchafo holl goed y dyfr-
oedd yn eu huchder, ac na roddont eu
brigyn rhwng y tewfrig, ac na safo'r holl
‡ Heb. arnynt eu hunain, am eu huchder. goed dyfradwy ‡ yn eu huchder: canys
f rhoddwyd hwynt oll i farwolaeth yn y
tir isaf ynghanol meibion dynion, gyd â'r
rhai a ddisgynant i'r pwll.
f Psal. 82. 7. 15 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw;
Yn y dydd y disgynodd hi i'r bedd, gwneu-
thum alaru: toais y dyfnder am dani hi, ac
atteliais ei hafonydd, fel yr attaliwyd dyfr-
§ Heb. duais. neu, tywyllais Libanus am dani hi. oedd lawer: § gwneuthum i Libanus alaru
am dani hi, ac *yr ydoedd ar* holl goed y maes
lesmair am dani hi.
16 Gan swn ei chwymp hi y cynhyrfais
y cenhedloedd, pan wneuthum iddi ddisgyn
i uffern gyd â'r rhai a ddisgynant i'r pwll,
g Esay 14. 8. a g holl goed Eden, y dewis a'r goreu yn
h Pen. 32. 31. Libanus, y dyfradwy oll, h a ymgysurant yn
y tir isaf.
17 Hwythau hefyd gyd â hi a ddisgynant
i uffern at laddedigion y cleddyf, a'*r rhai*
*oedd* fraich iddi hi, *y rhai* a drigasant dan
ei chysgod hi ynghanol y cenhedloedd.
i Adn. 2. 18 ¶ i I bwy felly ym mysg coed Eden yr
oeddit debyg mewn gogoniant a mawredd?
etto ti a ddisgynir gyd â choed Eden i'r tir
k Pen. 28. 10. a 32. 19, 21, 24, &c. isaf: k gorweddi ynghanol y rhai dïenwaed-
edig, gyd â lladdedigion y cleddyf. Dyma
Pharaoh a'i holl lïaws, medd yr Arglwydd
Dduw.

## PEN. XXXII.

1 *Cwynfan am erchyll gwymp yr Aipht.* 11
*Cleddyf Babilon a'i dinystria hi.* 17 *Y dy-*
*gir hi i wared i uffern ym mhlith y cenhedl-*
*oedd dïenwaededig.*

587. AC yn y deuddegfed mis o'r ddeuddegfed
flwyddyn, ar y *dydd* cyntaf o'r mis, y
daeth gair yr Arglwydd attaf, gan ddy-
wedyd,
2 Ha fab dyn, cyfod alarnad am Pharaoh
a Pen. 19. 2. brenhin yr Aipht, a dywed wrtho, a Te-
bygaist i lew ieuangc y cenhedloedd, ac
b Pen. 29. 3. b *yr ydwyt* ti fel † morfil yn y moroedd: a
† Neu, draig. daethost allan gyd â'th afonydd; cythrybl-
aist hefyd y dyfroedd â'th draed, a methr-
aist eu hafonydd hwynt.
3 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw;
c Minnau a daenaf fy rhwyd arnat â chyn- c Pen. 12. 13. a 17. 20.
nulleidfa pobloedd lawer; a hwy a'th go-
dant yn fy rhwyd i.
4 d Gadawaf di *hefyd* ar y tir, tafiaf di ar d Pen. 29. 5.
wyneb y maes, a gwnaf i holl ehediaid y
nefoedd drigo arnat ti; ïe, o honot ti y di-
wallaf fwystfilod yr holl ddaear.
5 Rhoddaf hefyd dy gig ar y mynydd-
oedd, a llanwaf y dyffrynoedd â'th uchder
di.
6 Mwydaf hefyd â'th waed ‡ y tir yr ‡ Heb. *dir dy nofiad.*
wyt yn nofio ynddo, hyd y mynyddoedd;
a llenwir yr afonydd o honot.
7 *Ïe,* e cuddiaf y nefoedd wrth dy ddi- e Esay 13. 10.
ffoddi, a thywyllaf eu ser hwynt: yr haul a Joel 2. 31.
guddiaf â chwmmwl, a'r lleuad ni wna i'w a 3. 15.
goleuni oleuo. Mat. 24. 29.
8 Tywyllaf arnat holl lewyrch goleuad-
au'r nefoedd, a rhoddaf dywyllwch ar dy
dir, medd yr Arglwydd Dduw.
9 A digiaf galon pobloedd lawer, pan
ddygwyf dy ddinystr ym mysg y cenhedl-
oedd i diroedd nid adnabuost.
10 A gwnaf i bobloedd lawer ryfeddu
wrthyt, a'u brenhinoedd a ofnant yn fawr
o'th blegid, pan wnelwyf i'm cleddyf ddis-
gleirio o flaen eu hwynebau hwynt; f a f Pen. 26. 16.
hwy ar *bob* munud a ddychrynant, bob un
am ei einioes, yn nydd dy gwymp.
11 ¶ Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Cleddyf brenhin Babilon a ddaw
arnat ti.
12 A chleddyfau y rhai cedyrn y cwymp-
af dy lïaws, *byddant* oll g yn gedyrn y cen- g Pen. 28. 7.
hedloedd; a hwy a anrheithiant falchder yr
Aipht, a'i holl lïaws hi a ddinystrir.
13 Difethaf hefyd ei holl anifeiliaid hi
oddi wrth ddyfroedd § lawer; h ac ni sathr § Neu, *mawrion.*
troed dyn hwynt mwy, ac ni fathra carnau h Pen. 29. 11.
anifeiliaid hwynt.
14 Yna y gwnaf yn ddyfnion eu dyfroedd
hwynt, a gwnaf i'w hafonydd gerdded fel
olew, medd yr Arglwydd Dduw.
15 Pan roddwyf dir yr Aipht yn an-
rhaith, ac anrheithio'r wlad o'i llawnder,
pan darawyf y rhai oll a breswyliant yn-
ddi, yna y cânt wybod mai myfi *yw* yr
Arglwydd.
16 Dyma'r galar a alarant am dani hi:
merched y cenhedloedd a alarant am dani hi;
galarant am dani hi, *sef* am yr Aipht, ac am
ei lïaws oll, medd yr Arglwydd Dduw.
17 ¶ Ac yn y ddeuddegfed flwyddyn, ar
y pymthegfed *dydd* o'r mis, y daeth gair yr
Arglwydd attaf, gan ddywedyd,
18 Cwyna, fab dyn, am lïaws yr Aipht,
a disgyn hi, hi a merched y cenhedloedd
enwog, i'r tir isaf, gyd â'r rhai a ddisgyn-
ant i'r pwll.
19 i Teccach nâ phwy oeddit? k disgyn i Pen. 31. 18.
a gorwedd gyd â'r rhai dïenwaededig.
20 Syrthiant ynghanol *y rhai* a laddwyd k Adn. 21, 24, &c.
â'r cleddyf: ‖ i'r cleddyf y rhoddwyd hi; ‖ Neu, *gosodwyd y cleddyf.*
llusgwch hi a'i lïaws oll.
21 l Llefared cryfion y cedyrn wrthi hi o
ganol uffern gyd â'i chynnorthwywyr: l Esay 14. 9.
m disgynasant, gorweddant yn ddïenwaed-
edig, wedi eu lladd â'r cleddyf. m Adn. 19. 25, &c.
22 n Yno *y mae* Assur a'i holl gynnulleid- n Adn. 24. 25, 29, 30.
fa, a'i feddau o amgylch; wedi eu lladd
oll, a syrthio trwy'r cleddyf.
23 Yr hon y rhoddwyd eu beddau yn
ystlysau'r pwll, a'i chynnulleidfa ydoedd o
amgylch ei bedd; wedi eu lladd oll, a
syrthio trwy'r cleddyf, y rhai a barasant
arswyd yn nhir y rhai byw.

24 Yno *y mae* Elam a'i holl liaws o amgylch ei bedd, wedi eu lladd oll a syrthio trwy'r cleddyf, y rhai a ddisgynasant yn ddïenwaededig i'r tir isaf, y rhai a barasant eu harswyd yn nhir y rhai byw; etto hwy a ddygasant eu gwaradwydd gyd â'r rhai a ddisgynant i'r pwll.

25 Ynghanol y rhai lladdedig y gosodasant iddi wely ynghŷd â'i holl liaws; a'i beddau o'i amgylch: y rhai hynny oll yn ddïenwaededig, a laddwyd â'r cleddyf: er peri eu harswyd yn nhir y rhai byw, etto dygasant eu gwaradwydd gyd â'r rhai a ddisgynent i'r pwll: ynghanol y lladdedigion y rhoddwyd ef.

26 Yno *y mae* Mesech, Tubal, a'i holl liaws; a'i beddau o amgylch: y rhai hynny oll yn ddïenwaededig, wedi eu lladd â'r cleddyf, er peri o honynt eu harswyd yn nhir y rhai byw.

27 Ac ni orweddant gyd â'r cedyrn a syrthiasant o'r rhai dïenwaededig, y rhai a ddisgynasant i uffern † â'u harfau rhyfel: a rhoddasant eu cleddyfau dan eu pennau; eithr eu hanwireddau fydd ar eu hesgyrn hwy, er *eu bod* yn arswyd i'r cedyrn yn nhir y rhai byw.

† Heb. *ag arfau eu rhyfel.*

28 A thithau a ddryllir ym mysg y rhai dïenwaededig, ac a orweddi gyd â'r rhai a laddwyd â'r cleddyf.

29 Yno *y mae* Edom, a'i brenhinoedd a'i holl dywysogion, y rhai a roddwyd â'u cadernid gyd â'r *rhai a* laddwyd â'r cleddyf: hwy a orweddant gyd â'r rhai dïenwaededig, a chyd â'r rhai a ddisgynant i'r pwll.

30 Yno *y mae* holl dywysogion y gogledd, a'r holl Sidoniaid, y rhai a ddisgynant gyd â'r lladdedigion; gyd â'u harswyd y cywilyddiant am eu cadernid; gorweddant hefyd yn ddïenwaededig gyd â'r rhai a laddwyd â'r cleddyf, ac a ddygant eu gwaradwydd gyd â'r rhai a ddisgynant i'r pwll.

31 Pharaoh a'u gwel hwynt, ac a ymgysura yn ei holl liaws, Pharaoh a'i holl lu wedi eu lladd â'r cleddyf, medd yr Arglwydd Dduw.

32 Canys rhoddais fy ofn yn nhir y rhai byw; a gwnair iddo orwedd ynghanol y rhai dïenwaededig, gyd â lladdedigion y cleddyf, *sef* i Pharaoh ac i'w holl liaws, medd yr Arglwydd Dduw.

## PEN. XXXIII.

Awst 18. [?]

1 *Yn ol dyled gwyliwr yn rhybuddio'r bobl,* 7 *y dygir ar gof i Ezeciel ei ddyled yntau.* 10 *Duw yn dangos mor union ydyw ei ffyrdd ef tu ag at yr edifeiriol, a thu ag at y rhai a gilio oddi wrtho:* 17 *yn ymddiffyn ei gyfiawnder.* 21 *Wrth glywed darfod ynnill Jerusalem, y mae'n prophwydo dinystr y wlad.* 30 *Barnedigaethau Duw yn erbyn y rhai a watwarent y prophwydi.*

587.

A Daeth gair yr Arglwydd attaf, gan ddywedyd,

2 Llefara, fab dyn, wrth feibion dy bobl, a dywed wrthynt, † Pan ddygwyf gleddyf ar wlad, a chymmeryd o bobl y wlad ryw wr o'i chyrrau, a'i roddi yn wyliedydd iddynt:

† Heb. *Gwlad pan ddygwyf gleddyf arni.*

3 Os gwel efe gleddyf yn dyfod ar y wlad, ac udganu mewn udgorn, a rhybuddio'r bobl;

4 Yna'r hwn ‡ a glywo lais yr udgorn, ac ni chymmer rybudd; eithr dyfod o'r cleddyf a'i gymmeryd ef ymaith, ei waed fydd ar ei ben ei hun.

‡ Heb. *gan glywed a glywo.*

5 Efe a glybu lais yr udgorn, ac ni chymmerodd rybudd; ei waed fydd arno: ond yr hwn a gymmero rybudd, a wared ei enaid.

6 Ond pan welo'r gwyliedydd y cleddyf yn dyfod, ac ni udgana mewn udgorn, a'r bobl heb eu rhybuddio; eithr dyfod o'r cleddyf a chymmeryd un o honynt, efe a ddaliwyd yn ei anwiredd, ond mi a ofynaf ei waed ef ar law'r gwyliedydd.

7 ¶ [a] Felly dithau, fab dyn, yn wyliedydd y'th roddais i dŷ Israel; fel y clywech air o'm genau, ac y rhybuddiech hwynt oddi wrthyf fi.

[a] Pen. 3. 17, &c.

8 Pan ddywedwyf wrth yr annuwiol, *Ti* annuwiol, gan farw a fyddi farw; oni leferi di i rybuddio'r annuwiol o'i ffordd, yr annuwiol hwn a fydd marw yn ei anwiredd, ond ar dy law di y gofynaf ei waed ef.

9 Ond os rhybuddi di yr annuwiol o'i ffordd, i ddychwelyd o honi; os efe ni ddychwel o'i ffordd, efe fydd farw yn ei anwiredd, a thithau a waredaist dy enaid.

10 ¶ Llefara hefyd wrth dŷ Israel, ti fab dyn, Fel hyn gan ddywedyd y dywedwch; Os *yw* ein hanwireddau a'n pechodau arnom, a ninnau [b] yn dihoeni ynddynt, pa fodd y byddem ni byw?

[b] Pen. 24. 23.

11 Dywed wrthynt, [c] *Fel mai* byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, ni ymhoffaf ym marwolaeth yr annuwiol; ond troi o'r annuwiol oddi wrth ei ffordd a byw: dychwelwch, dychwelwch oddi wrth eich ffyrdd drygionus; canys, tŷ Israel, [d] pa ham y byddwch feirw?

[c] 2 Sam. 14. 14. Pen. 18. 23, 32. 2 Petr 3. 9.
[d] Pen. 18. 31.

12 Dywed hefyd, fab dyn, wrth feibion dy bobl, [e] Cyfiawnder y cyfiawn ni's gwared ef yn nydd ei anwiredd: felly am annuwioldeb yr annuwiol, ni syrth efe o'i herwydd yn y dydd y dychwelo oddi wrth ei anwiredd; ni ddichon y cyfiawn chwaith fyw oblegid *ei gyfiawnder* yn y dydd y pecho.

[e] Pen. 3. 20. a 18. 24.

13 Pan ddywedwyf wrth y cyfiawn, Gan fyw y caiff fyw; os efe a hydera ar ei gyfiawnder, ac a wna anwiredd, ei holl gyfiawnderau ni chofir; ond am ei anwiredd a wnaeth, am dano y bydd efe marw.

14 A phan ddywedwyf wrth yr annuwiol, Gan farw y byddi farw; os dychwel efe oddi wrth ei bechod, a gwneuthur barn a chyfiawnder;

15 *Os* yr annuwiol [f] a ddadrydd wystl, *ac* [g] a rydd yn ei ol yr hyn a dreisiodd, a rhodio yn [h] neddfau'r bywyd, heb wneuthur anwiredd; gan fyw y bydd efe byw, ni bydd marw.

[f] Pen. 18. 7.
[g] Exod. 22. 1, 4. Lef. 6. 2, 4. Num. 5. 6, 7.

16 Ni chofféir iddo yr holl bechodau a bechodd: barn a chyfiawnder a wnaeth; efe gan fyw a fydd byw.

[h] Lef. 18. 5. Pen. 20. 11, 13, 21.

17 ¶ [i] A meibion dy bobl a ddywedant, Nid yw uniawn ffordd yr Arglwydd: eithr eu ffordd hwynt nid yw union.

[i] Pen. 18. 25, 29. Adn. 20.

18 Pan ddychwelo'r cyfiawn oddi wrth ei gyfiawnder, a gwneuthur anwiredd, efe a fydd marw ynddynt.

19 A phan ddychwelo'r annuwiol oddi wrth ei annuwioldeb, a gwneuthur barn a chyfiawnder, yn y rhai hynny y bydd efe byw.

20 [k] Etto chwi a ddywedwch nad uniawn ffordd yr Arglwydd. Barnaf chwi, tŷ Israel, bob un yn ol ei ffyrdd ei hun.

[k] Adn. 17.

21 ¶ Ac yn y degfed *mis* o'r ddeuddegfed

[l Pen. 1. 2. m Pen. 24. 26. n 2 Bren. 25.] flwyddyn [l] o'n caethgludiad ni, ar y pummed *dydd* o'r mis, [m] y daeth un a ddïangasai o Jerusalem attaf fi, gan ddywedyd, [n] Tarawyd y ddinas.

[o Pen. 1. 3. p Pen. 24. 27.] 22 A [o] llaw'r ARGLWYDD a fuasai arnaf yn yr hwyr, cyn dyfod y dïangydd, ac a agorasai fy safn, nes ei ddyfod attaf y bore; ie, [p] ymagorodd fy safn, ac ni bûm fud mwyach.

23 Yna y daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan ddywedyd,

24 Ha fab dyn, preswylwŷr y diffaethwch hyn yn nhir Israel ydynt yn llefaru, gan ddywedyd, Abraham oedd un, ac a feddiannodd y tir; ninnau *ydym* lawer, i ni y rhoddwyd y tir yn etifeddiaeth.

[q Gen. 9. 4. Lev. 3. 17. a 7. 26. a 17. 10. a 19. 26. Deut. 12. 16. r Pen. 18. 6.] 25 Am hynny dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; [q] Yr ydych yn bwytta ynghŷd â'r gwaed, ac [r] yn dyrchafu eich llygaid at eich gau-dduwiau, ac yn tywallt gwaed; ac a feddiennwch chwi y tir?

26 Sefyll yr ydych ar eich cleddyf, gwnaethoch ffieidd-dra, halogasoch hefyd bob un wraig ei gymmydog; ac a feddiennwch chwi y tir?

[s Pen. 39. 4. t Barn. 6. 2. 1 Sam. 13. 6.] 27 Fel hyn y dywedi wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; *Fel mai* byw fi, trwy 'r cleddyf y syrth y rhai *sydd* yn y diffaethwch; a'r hwn *sydd* ar wyneb y maes, [s] i'r bwystfil y rhoddaf ef i'w fwytta; a'r rhai *sydd* yn yr amddiffynfeydd ac [t] mewn ogofeydd, a fyddant feirw o'r haint.

[u Pen. 7. 24. a 24. 21. a 30. 6, 7.] 28 Canys gwnaf y tir yn anrhaith, ïe yn anrhaith; a [u] balchder ei nerth ef a baid, ac anrheithir mynyddoedd Israel, heb gynniweirydd ynddynt.

29 A chânt wybod mai myfi *yw* yr ARGLWYDD, pan wnelwyf y tir yn anrhaith, ïe yn anrhaith, am eu holl ffieidd-dra a wnaethant.

30 ¶ Tithau fab dyn, meibion dy bobl sydd yn siarad i'th erbyn wrth y parwydydd, ac o fewn drysau'r tai, ac yn dywedyd y naill wrth y llall, pob un wrth ei gilydd, gan ddywedyd, Deuwch, attolwg, a gwrandêwch beth *yw*'r gair sydd yn dyfod oddi wrth yr ARGLWYDD.

[x Pen. 14. 1, &c. a 20. 1, &c. † Heb. *dyfodiad y bobl.* y Pen. 8. 1. z Esay 29. 13.] 31 [x] Deuant hefyd attat fel † y daw y bobl, ac [y] eisteddant o'th flaen *fel* fy mhobl, gwrandawant hefyd dy eiriau, ond ni's gwnant hwy: canys [z] â'u geneuau y dangosant gariad, a'u calon sydd yn myned ar ol eu cybydd-dod.

32 Wele di hefyd iddynt fel cân cariad *un* hyfrydlais, ac yn canu yn dda: canys gwrandawant dy eiriau, ond ni's gwnant hwynt.

[a Pen. 2. 5.] 33 A phan ddelo hyn (wele ef yn dyfod) yna [a] y cânt wybod fod prophwyd yn eu mysg.

## PEN. XXXIV.

Awst 19. B. 1 *Argyoeddi'r bugeiliaid; 7 a barn Duw yn eu herbyn hwy; 11 a'i ragluniaeth dros ei ddïadell. 20 Brenhiniaeth Crist.*

587. A Gair yr ARGLWYDD a ddaeth attaf, gan ddywedyd,

[a Jer. 23. 1. † *diadellau.*] 2 Prophwyda, fab dyn, yn erbyn [a] bugeiliaid Israel; prophwyda, a dywed wrthynt, wrth y bugeiliaid, Fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; Gwae fugeiliaid Israel y rhai sydd yn eu porthi eu hunain: oni phortha'r bugeiliaid y † praidd?

[b Zech. 11. 16.] 3 [b] Y brasder a fwyttêwch, a'r gwlan a wisgwch, y bras a leddwch; *ond* ni phorthwch y praidd.

[c Adn. 16. d 1 Petr 5. 3.] 4 [c] Ni chryfhasoch y rhai llesg, ac ni feddyginiaethasoch y claf, ni rwymasoch y ddrylliedig chwaith, a'r gyfeiliornus ni ddygasoch adref, a'r golledig ni cheisiasoch; eithr llywodraethasoch hwynt â [d] thrais ac â chreulondeb.

[‡ Heb. *heb fugail.* Felly adn. 8.] 5 A hwy a wasgarwyd ‡ o eisiau bugail: a buant yn ymborth i holl fwystfilod y maes, pan wasgarwyd hwynt.

6 Fy nefaid a grwydrasant ar hŷd yr holl fynyddoedd, ac ar bob bryn uchel: ïe, gwasgarwyd fy mhraidd ar hŷd holl wynob y ddaear, ac nid oedd a'u ceisiai, nac a ymofynai *am danynt.*

7 ¶ Am hynny, fugeiliaid, gwrandêwch air yr ARGLWYDD.

8 *Fel mai* byw fi, medd yr Arglwydd DDUW, am fod fy mhraidd yn yspail, a bod fy mhraidd yn ymborth i holl fwystfilod y maes, o eisiau bugail, ac na cheisiodd fy mugeiliaid fy mhraidd, eithr y bugeiliaid a'u porthasant eu hun, ac ni phorthasant fy mhraidd:

9 Am hynny, O fugeiliaid, gwrandêwch air yr ARGLWYDD.

10 Fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; Wele fi yn erbyn y bugeiliaid; a gofynaf fy mhraidd ar eu dwylaw hwynt, a gwnaf iddynt beidio â phorthi'r praidd; a'r bugeiliaid ni phorthant eu hun mwy: canys gwaredaf fy mhraidd o'u safn hwy, fel na byddont yn ymborth iddynt.

11 ¶ Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW, Wele myfi, ïe myfi a ymofynaf am fy mhraidd, ac a'u ceisiaf hwynt.

12 Fel y cais bugail ei ddïadell ar y dydd y byddo ym mysg ei ddefaid gwasgaredig, felly y ceisiaf finnau fy nefaid, ac a'u gwaredaf hwynt o bob lle y gwasgarer hwynt iddo ar y dydd cymmylog a thywyll.

13 A [e] dygaf hwynt allan o fysg y bobloedd, a chasglaf hwynt o'r tiroedd, a dygaf hwynt i'w tir eu hun, a phorthaf hwynt ar fynyddoedd Israel wrth yr afonydd, ac yn holl drigfannau'r wlad. [e Pen. 28. 25.]

14 Mewn porfa dda y porthaf hwynt, ac ar uchel fynyddoedd Israel y bydd eu corlan hwynt: yno y gorweddant mewn corlan dda, ïe, *mewn* porfa fras y porant ar fynyddoedd Israel.

15 Myfi a borthaf fy mhraidd, a myfi a'u gorweddfaaf hwynt, medd yr Arglwydd DDUW.

16 [f] Y golledig a geisiaf, a'r darfedig a ddychwelaf, a'r friwedig a rwymaf, a'r lesg a gryfhâf: eithr dinystriaf [g] y fras a'r gref; â barn y porthaf hwynt. [f Mich. 4. 6. Edrych adn. 4. g Esay 10. 16. Amos 4. 1.]

17 Chwithau, fy mhraidd, fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW, Wele [h] fi yn barnu rhwng § milyn a milyn, rhwng yr hyrddod a'r bychod. [h Pen. 20. 37, 38. Zech. 10. 3. Mat. 25. 32. § Heb. *myn a mynnod.*]

18 Ai bychan gennych bori o honoch y borfa dda, oni bydd i chwi sathru dan eich traed y rhan arall o'ch porfeydd? ac yfed o honoch y dyfroedd dyfnion, oni bydd i chwi sathru'r rhan arall â'ch traed?

19 A'm praidd i, y maent yn pori sathrfa eich traed chwi; a mathrfa eich traed a yfent.

20 ¶ Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW wrthynt hwy; Wele myfi, ïe myfi a farnaf rhwng milyn bras a milyn cul.

21 O herwydd gwthio o honoch ag ystlys ac ag ysgwydd, a chornio o honoch â'ch cyrn y rhai llesg oll, hyd oni wasgarasoch hwynt allan:

22 Am hynny y gwaredaf fy mhraidd,

fel na byddont mwy yn yspail, a barnaf
rhwng milyn a milyn.
i Esay 40. 11. 23 Cyfodaf hefyd un bugail arnynt, ac
Pen. 37. 24. efe a'u portha hwynt, *sef* fy ngwas k Da-
fydd; efe a'u portha hwynt, ac efe a fydd
Ioan 10. 11. yn fugail iddynt.
Heb. 13. 20. 24 A minnau yr ARGLWYDD a fyddaf yn
1 Petr 2. 25. a 5. 4. DDUW iddynt, a'm gwas Dafydd yn dy-
wysog yn eu mysg: myfi yr ARGLWYDD a
k Jer. 30. 9. leferais *hyn*.
Hos. 3. 5. 25 l Gwnaf hefyd â hwynt gyfammod
l Pen. 37. 26. heddwch, a m gwnaf i'r bwystfil drwg bei-
dio o'r tir: a hwy a drigant yn ddiogel yn
m Esay 11. 6—9. yr anialwch, ac a gysgant yn y coedydd.
a 35. 9. 26 Hwynt hefyd ac amgylchoedd fy mryn
Hos. 2. 18. a wnaf yn fendith: a gwnaf i'r gwlaw ddis-
n Psal. 68. 9. gyn yn ei amser; n cawodydd bendith a
fydd.
o Psal. 85. 12. 27 A o rhydd pren y maes ei ffrwyth, a'r
tir a rydd ei gynnyrch, a byddant yn eu tir
eu hun mewn diogelwch, ac a gânt wybod
mai myfi *yw* yr ARGLWYDD, pan dorrwyf
rwymau eu hiau hwynt, a'u gwared hwynt
o law y rhai oedd yn mynnu gwasanaeth
ganddynt.
28 Ac ni byddant mwyach yn yspail i'r
cenhedloedd, a bwystfil y tir ni's bwytty
p Jer. 30. 10. a 46. 27. hwynt; eithr p trigant mewn diogelwch, ac
ni *bydd a'u* dychryno.
q Esay 11. 1. 29 Cyfodaf iddynt hefyd q blanhigyn
Jer. 23. 5. † enwog, ac ni byddant mwy wedi ‡ trengi
† Heb. *yn enw.* o newyn yn y tir, ac r ni ddygant mwy wa-
‡ Heb. *eu cymmeryd ymaith.* radwydd y cenhedloedd.
30 Fel hyn y cânt wybod mai myfi 'r AR-
GLWYDD eu DUW *sydd* gyd â hwynt, ac
*mai* hwythau, tŷ Israel, *yw* fy mhobl i,
r Pen. 36. 3, 6, 15. medd yr Arglwydd DDUW.
31 Chwithau, fy s mhraidd, defaid fy
s Ioan 10. 11. mhorfa, dynion *ydych* chwi, myfi *yw* eich
DUW chwi, medd yr Arglwydd DDUW.

## PEN. XXXV.

*Barnedigaeth mynydd Seir am eu cas tu ag at Israel.*

587. A Daeth gair yr ARGLWYDD attaf, gan
ddywedyd,
2 Gosod dy wyneb, fab dyn, tu ag at fy-
a Jer. 49. 7, 8. nydd Seir, a a phrophwyda yn ei erbyn,
3 A dywed wrtho, Fel hyn y dywed yr
Pen. 25. 12. Amos 1. 11. Arglwydd DDUW; Wele fi i'th erbyn di,
Obadiah 10, &c. mynydd Seir, estynaf hefyd fy llaw i'th
erbyn, a † gwnaf di yn anghyfannedd ac yn
† Heb. *rhoddaf.* ddiffaethwch.
4 Gosodaf dy ddinasoedd yn ddiffaeth-
wch, a thithau a fyddi yn anghyfannedd,
fel y gwypoch mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.
‡ Neu, *casineb.* 5 Am fod genyt alanasdra ‡ tragywyd-
dol, a thywallt o honot *waed* meibion Israel
§ Heb. *dwylaw.* â § min y cleddyf, yn amser eu gofid, b yn
amser diwedd eu hanwiredd *hwynt*:
b Pen. 21. 25, 29. 6 Am hynny *fel mai* byw fi, medd yr Ar-
glwydd DDUW, mi a'th wnaf di yn waed,
c Psal. 109. 17. a gwaed a'th ymlid di: c gan na chasêi
waed, gwaed a'th ddilyn.
7 Gwnaf hefyd fynydd Seir yn anrhaith ac
yn ddiffaethwch; a thorraf ymaith o hono yr
hwn a elo allan, a'r hwn a ddychwelo.
8 Llanwaf hefyd ei fynyddoedd ef â'i
laddedigion: yn dy fryniau, a'th ddyffry-
noedd, a'th holl afonydd, y syrth y rhai a
d Jer. 49. 13. laddwyd â'r cleddyf.
Mal. 1. 3, 4. 9 d Gwnaf di yn anrhaith tragywyddol,
a'th ddinasoedd ni ddychwelant; e fel y
gwypoch mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.
e Pen. 6. 7. a 7. 4, 9. 10 Am ddywedyd o honot, Y ddwy ge-
a 36. 11. nedl a'r ddwy wlad hyn fyddant eiddof fi,
a f nyni a'i meddiannwn; er bod yr AR- f Psal. 83. 4, 12.
GLWYDD yno:
11 Am hynny *fel mai* byw fi, medd yr
Arglwydd DDUW, gwnaf yn ol dy ddig,
ac yn ol dy genfigen, y rhai o'th gas yn eu
herbyn hwynt a wnaethost; fel y'm had-
waener yn eu mysg hwynt, pan y'th farn-
wyf di.
12 A chei wybod mai myfi *yw*'r AR-
GLWYDD, *ac* i mi glywed dy holl gabledd a
draethaist yn erbyn mynyddoedd Israel,
gan ddywedyd, Anrheithiwyd hwynt; i ni
y rhoddwyd hwynt i'w ‖ difa. ‖ Heb. *bwyta.*
13 Ymfawrygasoch hefyd â'ch geneuau
yn fy erbyn i, ac g amlhasoch eich geiriau g 1 Sam. 2. 3.
i'm herbyn: mi a'u clywais.
14 Fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW;
Pan lawenycho'r holl wlad, mi a'th wnaf di
yn anghyfannedd.
15 h Yn ol dy lawenydd di am feddiant h Obad. 12.
tŷ Israel, o herwydd ei anrheithio, felly y
gwnaf i tithau: anrhaith fyddi di, mynydd
Seir, ac Edom oll i gyd; fel y gwypont
mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

## PEN. XXXVI.

1 *Cysuro gwlad Israel, trwy ddinystr y cen-hedloedd a wnaent yn drahaus â hi,* 8 *a thrwy addaw bendithion Duw iddi.* 16 *Mai am eu pechodau y gwrthodwyd Israel,* 21 *ond yr adferir hwy drachefn, heb iddynt ei haeddu.* 25 *Bendithion brenhin-iaeth Crist.*

TITHAU fab dyn, a prophwyda wrth fy- 587.
nyddoedd Israel, a dywed, Gwran- a Pen. 6. 2.
dêwch, fynyddoedd Israel, air yr AR-
GLWYDD.
2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW,
O herwydd b dywedyd o'r gelyn hyn am b Pen. 25. 3. a 26. 2.
danoch chwi, Aha, aeth yr hen uchelfaon
hefyd yn etifeddiaeth i ni:
3 Am hynny prophwyda, a dywed, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; † o her- † Heb. *o herwydd, o herwydd.*
wydd iddynt eich anrheithio, a'ch llyngcu o
amgylch, i fod o honoch yn etifeddiaeth
i weddill y cenhedloedd, a ‡ myned o ho- ‡ Heb. *gwneuthur i chwi esgyn ar fin y tafod.*
noch yn watwargerdd tafodau, ac yn ogan
pobloedd:
4 Am hynny, mynyddoedd Israel, gwran-
dêwch air yr Arglwydd DDUW; Fel hyn
y dywed yr Arglwydd DDUW wrth y
mynyddoedd ac wrth y bryniau, wrth § yr § Neu, *y glynnoedd.*
afonydd ac wrth y dyffrynoedd, wrth y
diffaethwch anghyfanneddol, ac wrth y
dinasoedd gwrthodedig, y rhai a aeth yn
yspail, ac yn watwar i'r rhan arall o'r cen-
hedloedd o'u hamgylch:
5 Am hynny fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd DDUW; c Diau yn an-gerdd fy c Pen. 38. 19.
eiddigedd y lleferais yn erbyn y rhan arall
o'r cenhedloedd, ac yn erbyn holl Edom, y
rhai a roddasant fy nhir i yn etifeddiaeth idd-
ynt eu hun, â llawenydd *eu* holl galon, trwy
feddwl dirmygus, i'w yrru allan yn yspail.
6 Am hynny prophwyda am dir Israel, a
dywed wrth y mynyddoedd ac wrth y bry-
niau, wrth yr afonydd ac wrth y dyffryn-
oedd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd
DDUW; Wele, yn fy eiddigedd ac yn fy
llid y lleferais, o herwydd dwyn o honoch
waradwydd y cenhedloedd.
7 Am hynny fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd DDUW; Myfi a dyngais, Diau y
dwg y cenhedloedd *sydd* o'ch amgylch chwi
eu gwaradwydd.
8 ¶ A chwithau, mynyddoedd Israel, a

fwriwch allan eich ceingciau, ac a ddygwch
eich ffrwyth i'm pobl Israel; canys agos
ydynt ar ddyfod.
9 Canys wele fi attoch, ïe troaf attoch, fel
y'ch coledder ac y'ch hauer.
10 Amlhâf ddynion ynoch chwi hefyd, holl
dŷ Israel i gyd, fel y cyfannedder y dinas-
oedd, ac yr adeilader y diffaethwch.
11 Ië, amlhâf ynoch ddyn ac anifail; a
hwy a 'chwanegant ac a ffrwythant; a
gwnaf i chwi breswylio fel yr oeddych
gynt; ïe, gwnaf *i chwi* well nag *yn* eich
d Pen. 35. dechreuad, [d] fel y gwypoch mai myfi *yw*
9. a 37. 6, yr Arglwydd.
13. 12 Ië, gwnaf i ddynion rodio arnoch, *sef*
fy mhobl Israel; a hwy a'th etifeddant
di, a byddi yn etifeddiaeth iddynt, ac ni
ychwanegi eu gwneuthur hwy yn amddi-
faid mwy.
13 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw;
O herwydd eu bod yn dywedyd wrthych,
Yr wyt ti yn difa dynion, ac yn gwneuthur
dy genhedloedd yn amddifaid;
14 Am hynny ni fwyttei ddynion mwy,
† Neu. ac ni wnai † dy genhedloedd mwyach yn
*i'th genhedloedd* amddifaid, medd yr Arglwydd Dduw.
*mwyach* 15 [e] Ac ni adawaf glywed gwaradwydd y
*gwympo.* cenhedloedd ynot ti mwy, ni ddygi chwaith
e Pen. 34. warth y cenhedloedd mwyach, ac ni wnei
29. mwy i'th genhedloedd syrthio, medd yr Ar-
glwydd Dduw.
16 ¶ Daeth hefyd air yr Arglwydd at-
taf, gan ddywedyd,
17 Ha fab dyn, pan oedd tŷ Israel yn
trigo yn eu tir eu hun, hwy a'i halogasant
ef â'u ffordd ac â'u gweithredoedd eu hun:
eu ffordd ydoedd ger fy mron i fel aflendid
gwraig fisglwyfus.
18 Yna y tywelltais fy llid arnynt, am y
gwaed a dywalltasent ar y tir, ac am eu
delwau *trwy y rhai* yr halogasent ef;
19 Ac a'u gwasgerais hwynt ym mhlith y
cenhedloedd, a hwy a chwalwyd ar hŷd
y gwledydd; yn ol eu ffyrdd ac yn ol eu
gweithredoedd y bernais hwynt.
f Esay 52. 20 A [f] phan ddaethant at y cenhedloedd
5. y rhai yr aethant attynt, hwy a halogasant
Rhuf. 2. fy enw sanctaidd, pan ddywedid wrthynt,
24. Dyma bobl yr Arglwydd, ac o'i wlad ef
yr aethant allan.
21 ¶ Er hynny arbedais *hwynt* er mwyn
fy enw sanctaidd, yr hwn a halogodd tŷ
Israel ym mysg y cenhedloedd y rhai yr
aethant attynt.
22 Am hynny dywed wrth dŷ Israel, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Nid er
eich mwyn chwi, tŷ Israel, yr ydwyf fi yn
gwneuthur *hyn*, ond er mwyn fy enw sanct-
aidd, yr hwn a halogasoch chwi ym mysg y
cenhedloedd lle yr aethoch.
23 A mi a sancteiddiaf fy enw mawr,
yr *hwn* a halogwyd ym mysg y cenhedl-
oedd, yr hwn a halogasoch chwi yn eu
mysg hwynt; fel y gwypo 'r cenhedloedd
mai myfi *yw* yr Arglwydd, medd yr Ar-
glwydd Dduw, pan ymsancteiddiwyf ynoch
‡ Neu, o flaen ‡ eich llygaid.
*eu llygaid* 24 Canys [g] mi a'ch cymmeraf chwi o
*hwynt.* fysg y cenhedloedd, ac a'ch casglaf chwi
g Pen. 34. o'r holl wledydd, ac a'ch dygaf i'ch tir
13. eich hun.
25 ¶ Ac a daenellaf arnoch ddwfr glân,
fel y byddoch lân: oddi wrth eich holl
frynti, ac oddi wrth eich holl eilunod, y
h Jer. 32. glanhâf chwi.
39. Pen. 11. 19. 26 A [h] rhoddaf i chwi galon newydd,
yspryd newydd hefyd a roddaf o'ch mewn
chwi; a thynnaf y galon garreg o'ch cnawd
chwi, ac mi a roddaf i chwi galon gig.
27 Rhoddaf hefyd fy yspryd o'ch mewn, a
gwnaf i chwi rodio yn fy neddfau, a chadw
fy marnedigaethau, a'u gwneuthur.
28 Cewch drigo hefyd yn y tir a roddais
i'ch tadau; a byddwch yn bobl i mi, a
minnau a fyddaf Dduw i chwithau.
29 Achubaf chwi hefyd oddi wrth eich
holl aflendid; a [i] galwaf am yr ŷd, ac a'i i Edrych
hamlhâf, ac [k] ni roddaf arnoch newyn. Psal. 105. 16.
30 Amlhâf hefyd ffrwyth y coed, a chyn- k Pen. 34.
nyrch y maes, fel na ddygoch mwy wara- 29.
dwydd newyn ym mysg y cenhedloedd.
31 Yna [l] y cofiwch eich ffyrdd drygionus, l Pen. 16.
a'ch gweithredoedd nid oeddynt dda, a 61, 63.
[m] byddwch yn ffiaidd gennych eich hun- m Lef. 20.
ain, am eich anwireddau ac am eich ffieidd- 39.
dra. Pen. 6. 9. a 20. 43.
32 [n] Nid er eich mwyn chwi yr ydwyf n Deut. 9.
fi yn gwneuthur *hyn*, medd yr Arglwydd 5.
Dduw; bydded hyspys i chwi: tŷ Israel,
gwridwch a chywilyddiwch am eich ffyrdd
eich hun.
33 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw;
Yn y dydd y glanhawyf chwi o'ch holl
anwireddau, y paraf hefyd i *chwi* gyfan-
neddu 'r dinasoedd, ac yr adeiledir yr ang-
hyfannedd-leoedd.
34 A'r tir anrheithiedig a goleddir, lle y bu
yn anrhaith yngolwg pob cynniweirydd.
35 A hwy a ddywedant, Y tir anrheith-
iedig hwn a aeth fel [o] gardd Eden, a'r o Esay 51.
dinasoedd anghyfannedd, ac anrheithiedig, 3.
a dinystriol, *a aethant* yn gaerog, *ac* a gyf- Pen. 28. 13.
anneddir.
36 Felly y cenhedloedd y rhai a weddillir
o'ch amgylch, a gânt wybod mai myfi 'r
Arglwydd sydd yn adeiladu 'r lleoedd
dinystriol, *ac* yn plannu *eich mannau* an-
rheithiedig: [p] myfi yr Arglwydd a'i lle- p Pen. 17.
ferais, ac a'*i* gwnaf. 24. a 22. 14. a 37. 14.
37 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw;
Ymofynir â myfi etto gan dŷ Israel, i
wneuthur *hyn* iddynt: amlhâf hwynt â
dynion fel praidd.
38 Fel § y praidd sanctaidd, fel praidd § Heb.
Jerusalem yn ei huchel-wyliau, felly y *praidd*
dinasoedd anghyfannedd fyddant lawn o *sanctaidd*
finteioedd o ddynion; fel y gwypont mai *bethau.*
myfi *yw* yr Arglwydd.

## PEN. XXXVII.

1 *Trwy adgyfodi esgyrn sychion,* 11 *yr ad-*
*fywiocéir marw obaith Israel.* 15 *Trwy*
*gydio dau bren,* 18 *yr arwyddocéir cyssylltu*
*Israel at Judah.* 20 *Addewidion brenhin-*
*iaeth Crist.*

BU [a] llaw 'r Arglwydd arnaf, ac a'm 587.
dug allan yn yspryd yr Arglwydd, ac a Pen. 1.
a'm gosododd ynghanol dyffryn, a hwnnw 3.
*oedd* yn llawn esgyrn.
2 Ac efe a wnaeth im' fyned heibio idd-
ynt o amgylch ogylch: ac wele *hwynt* yn
aml iawn ar wyneb y dyffryn; wele hefyd
sychion iawn *oeddynt.*
3 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ha fab
dyn, a fydd byw 'r esgyrn hyn? A mi a
ddywedais, O Arglwydd Dduw, ti a'i
gwyddost.
4 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Pro-
phwyda am yr esgyrn hyn, a dywed wrth-
ynt, O esgyrn sychion, clywch air yr Ar-
glwydd.
5 Fel hyn y dywed yr Arglwydd

Dduw wrth yr esgyrn hyn; Wele fi yn dwyn
unadl i'ch mewn, fel y byddoch byw.
6 Giau hefyd a roddaf arnoch, a pharaf
i gig gyfodi arnoch, gwisgaf chwi hefyd
â chroen, a rhoddaf anadl ynoch; fel y
[b] Pen. 6. 7. a 35. 11. Joel 2. 27. a 3. 17. byddoch byw, [b] ac y gwypoch mai myfi
*yw* yr Arglwydd.
7 Yna y prophwydais fel y'm gorchy-
mynasid; ac fel yr oeddwn yn prophwydo,
bu swn, ac wele gynnwrf, a'r esgyrn a
ddaethant ynghŷd, asgwrn at ei asgwrn.
8 A phan edrychais, wele cyfodasai gïau
a chig arnynt, a gwisgasai croen am danynt;
ond nid *oedd* anadl ynddynt.
9 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Prophwyda
† Neu, *anadl.* tu a'r † gwŷnt, prophwyda, fab dyn, dy-
wed wrth y gwynt, Fel hyn y dywed yr
[c] Psal. 104. 30. Arglwydd Dduw; [c] O anadl, tyred oddi
wrth y pedwar gwŷnt, ac anadla ar y
lladdedigion hyn, fel y byddont byw.
10 Felly y prophwydais fel y'm gorchy-
mynasid; a'r anadl a ddaeth ynddynt, a
buant fyw, a safasant ar eu traed, yn llu
mawr iawn.
11 ¶ Yna y dywedodd wrthyf, Ha fab
dyn, yr esgyrn hyn ydynt dŷ Israel oll:
[d] Psal. 141. 7. wele, dywedant, [d] Ein hesgyrn a wywasant,
a'n gobaith a gollodd; torrwyd ni ymaith
o'n rhan ni.
12 Am hynny prophwyda, a dywed
wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd
[e] Esay 26. 19. Dduw; Wele [e] fi yn agori eich beddau,
fy mhobl, codaf chwi hefyd o'ch beddau, a
dygaf chwi i dir Israel.
13 A chewch wybod mai myfi *yw* yr Ar-
glwydd, pan agorwyf eich beddau, a phan
gyfodwyf chwi i fynu o'ch beddau, fy mhobl,
14 Ac y rhoddwyf fy yspryd ynoch, ac y
byddoch byw, ac y gosodwyf chwi yn eich
tir eich hun: yna y cewch wybod mai myfi 'r
Arglwydd a leferais, ac a wneuthum *hyn*,
medd yr Arglwydd.
15 ¶ A gair yr Arglwydd a ddaeth at-
taf, gan ddywedyd,
[f] Edrych Num. 17. 2. 16 Tithau fab dyn, [f] cymmer it' un pren,
ac ysgrifena arno, I Judah, ac i [g] feibion Is-
[g] 2 Chron. 11. 12, 13, 16. rael ei gyfeillion. A chymmer it' bren arall,
ac ysgrifena arno, I Joseph pren Ephraim,
ac i holl dŷ Israel ei gyfeillion:
17 A chydia hwynt y naill wrth y llall yn
un pren i ti; fel y byddont yn un yn dy law
di.
18 ¶ A phan lefaro meibion dy bobl
wrthyt, gan ddywedyd, Oni fynegi i ni
beth *yw* hyn gennyt?
19 Dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Wele fi yn cymmeryd
pren Joseph, yr hwn *sydd* yn llaw Ephraim,
a llwythau Israel ei gyfeillion, a mi a'u
rhoddaf hwynt gyd ag ef, *sef* gyd â phren
Judah, ac a'u gwnaf hwynt yn un pren, fel
y byddont yn fy llaw yn un.
20 ¶ A bydded yn dy law o flaen eu
llygaid hwynt, y preniau yr ysgrifenych
arnynt;
21 A dywed wrthynt, Fel hyn y dywed
yr Arglwydd Dduw, Wele fi yn cymmer-
yd meibion Israel o fysg y cenhedloedd yr
aethant attynt, ac mi a'u casglaf hwynt o
amgylch, ac a'u dygaf hwynt i'w tir eu
hun.
[h] Esay 11. 13. Jer. 3. 18. Hos. 1. 11. 22 A [h] gwnaf hwynt yn un genedl o fewn
y tir ym mynyddoedd Israel, ac [i] un brenhin
fydd yn frenhin iddynt oll: ni byddant he-
[i] Ioan 10. 16. fyd mwy yn ddwy genedl, ac ni rennir
hwynt mwyach yn ddwy frenhiniaeth:

23 Ac ni ymhalogant mwy wrth eu hei-
lunod, na thrwy eu ffieidd-dra, nac yn eu
holl anwireddau: eithr cadwaf hwynt o'u
holl drigfaon, y rhai y pechasant ynddynt,
a mi a'u glanhaf hwynt; fel y byddont yn
bobl i mi, a minnau a fyddaf yn Dduw
iddynt hwythau.
24 A'm [k] gwas Dafydd *fydd* brenhin ar- [k] Esay 40. 11.
nynt; ïe, [l] un bugail fydd iddynt oll: yn Jer. 23. 5.
fy marnedigaethau hefyd y rhodiant, a'm a 30. 9.
deddfau a gadwant, ac a wnant. Pen. 34. 23.
25 Trigant hefyd yn y tir a roddais i'm Hos. 3. 5. Luc 1. 32.
gwas Jacob, yr hwn y trigodd eich tadau [l] Adn. 22.
ynddo; a hwy a drigant ynddo, hwy a'u Ioan 10.
meibion, a meibion eu meibion byth; a 16.
[m] Dafydd fy ngwas *fydd* dywysog iddynt [m] Ioan 12. 34.
yn dragywydd.
26 [n] Gwnaf hefyd â hwynt gyfammod [n] Psal. 89. 3.
hedd; ammod tragywyddol a fydd â hwynt: Pen. 34. 25.
a gosodaf hwynt, ac a'u hamlhaf, a [o] rhodd- [o] 2 Cor. 6.
af fy nghyssegr yn eu mysg hwynt yn dra- 16.
gywydd.
27 [p] A'm tabernacl fydd gyd â hwynt; [p] Ioan 1. 14.
ïe, myfi a fyddaf iddynt [q] yn Dduw, a
hwythau a fyddant i mi yn bobl. [q] Pen. 11. 20. a 14. 11.
28 A'r cenhedloedd a gânt wybod mai
myfi yr Arglwydd sydd yn sancteiddio
Israel; gan fod fy nghyssegr yn eu mysg
hwynt yn dragywydd.

## PEN. XXXVIII.

1 *Llu 8 a malais Gog.* 14 *Barn Duw yn ei erbyn ef.*

A Gair yr Arglwydd a ddaeth attaf, gan 587.
ddywedyd,
2 Gosod dy wyneb, [a] fab dyn, yn erbyn [a] Pen. 39. 1.
[b] Gog, tir Magog, † pen-tywysog Mesech a
Thubal, a phrophwyda yn ei erbyn, [b] Dat. 20. 8.
3 A dywed, Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Wele fi yn dy erbyn di, † Neu, *tywysog pennaeth Mesech.*
Gog, pen-tywysog Mesech a Thubal.
4 [c] Dychwelaf di hefyd, a rhoddaf fachau
yn dy fochgernau, a mi a'th ddygaf allan, [c] 2 Bren. 19. 28.
a'th holl lu, y meirch a'r marchogion, Pen. 29. 4. a 39. 2.
[d] wedi eu gwisgo i gyd â phob rhyw
*arfau*, yn gynnulleidfa fawr â tharianau [d] Pen. 23. 12.
ac estylch, hwynt oll yn dwyn cleddyfau:
5 Persia, Ethiopia, a ‡ Libya, gyd â ‡ Neu, *Phut.*
hwynt; hwynt oll *yn dwyn* tarian a helm:
6 Gomer a'i holl fyddinoedd; tŷ Togar-
mah o ystlysau'r gogledd, a'i holl fyddin-
oedd; *a* phobl lawer gyd â thi.
7 Ymbarottoa, ïe, parottoa i ti dy hun, ti
a'th holl gynnulleidfa y rhai a ymgynhullas-
ant attat, a bydd yn gadwraeth iddynt.
8 ¶ Wedi dyddiau lawer yr ymwelir â
thi; yn y blynyddoedd diweddaf y deui
i dir wedi ei ddwyn yn ei ol oddi wrth y
cleddyf, wedi ei gasglu o bobloedd lawer
yn erbyn mynyddoedd Israel, y rhai a fuant
yn anghyfannedd bob amser: eithr efe a
ddygwyd allan o'r bobloedd, a hwynt oll a
drigant mewn diogelwch.
9 Dringi hefyd fel tymmestl, deui, *a*
byddi fel cwmmwl i guddio'r ddaear, ti
a'th holl fyddinoedd, a phobloedd lawer
gyd â thi.
10 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw;
Bydd hefyd yn y dydd hwnnw i bethau
ddyfod i'th feddwl, a thi a § feddyli feddwl § Neu, *fa'nedi amcan ysceler.*
drwg.
11 A thi a ddywedi, Mi a af i fynu i
wlad maes-drefydd; [e] af at y rhai llonydd, [e] Jer. 49. 31.
y rhai sydd yn preswylio ‖ yn ddiogel,
gan drigo oll heb gaerau, ac heb drosolion ‖ Neu, *yn hyderus.*
na dorau iddynt,

12 I yspeilio yspail, i 'sglyfaethu ysglyfaeth, i ddychwelyd dy law ar anghyfanneddleoedd y rhai a gyfanhedir *yr awr hon,* ac ar y bobl a gasglwyd o'r cenhedloedd, y rhai a ddarparasant anifeiliaid a golud, *ac* ydynt yn trigo † ynghanol y wlad.

† Neu, *ym mogail.*

13 Seba a Dedan, a marchnadyddion Tarsis *hefyd,* â'u holl lewod ieuaingc, a ddywedent wrthyt, Ai i yspeilio yspail y daethost ti? ai i 'sglyfaethu ysglyfaeth y cesglaist y gynnulleidfa? *ai* i ddwyn ymaith arian ac aur, i gymmeryd anifeiliaid a golud, i yspeilio yspail fawr?

14 ¶ Am hynny prophwyda, fab dyn, a dywed wrth Gog, Fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; Y dydd hwnnw pan breswylio fy mhobl Israel yn ddïofal, oni chei di wybod?

15 A thi a ddeui o'th fangre dy hun o ystlysau 'r gogledd, ti a phobl lawer gyd â thi, hwynt oll yn marchogaeth ar feirch, yn dyrfa fawr, ac yn llu lliosog.

16 A thi a ai i fynu yn erbyn fy mhobl Israel, fel cwmmwl i guddio 'r ddaear: yn y dyddiau diweddaf y bydd hyn; a mi a'th ddygaf yn erbyn fy nhir, fel yr adwaeno 'r cenhedloedd fi, pan ymsancteiddiwyf ynot ti, Gog, o flaen eu llygaid hwynt.

17 Fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; Ai tydi *yw*'r hwn y lleferais *am* dano yn y dyddiau gynt, trwy law fy ngweision, prophwydi Israel, y rhai a brophwydasant y dyddiau hynny flynyddoedd *lawer,* y dygwn di yn eu herbyn hwynt?

18 A bydd yn y dydd hwnnw, yn y dydd y delo Gog yn erbyn tir Israel, medd yr Arglwydd DDUW, i'm llid gyfodi yn fy ‡ sorriant.

‡ Neu, *wyneb.*

19 Canys [f] yn fy eiddigedd, *ac* yn angerdd fy nigllonedd y dywedais, Yn ddïau bydd yn y dydd hwnnw ddychryn mawr yn nhir Israel;

f Pen. 36. 5, 6.

20 Fel [g] y cryno pysgod y môr, ac ehediaid y nefoedd, a bwystfilod y maes, a phob ymlusgiad a ymlusgo ar y ddaear, a phob dyn ar wyneb y ddaear, ger fy mron i; a'r mynyddoedd a ddryllir i lawr, a'r § grisiau a syrthiant, a phob mur a syrth i lawr.

g Hos. 4. 3.
§ Neu, *lleoedd diffwys,* neu, *tyrau.*

21 A mi a alwaf am gleddyf yn ei erbyn trwy fy holl fynyddoedd, medd yr Arglwydd DDUW: cleddyf pob un fydd yn erbyn ei frawd.

22 Mi a ddadleuaf hefyd yn ei erbyn ef â haint ac â gwaed: [h] gwlawiaf hefyd gurwlaw, a cherrig cenllysg, tân a brwmstan, arno ef, ac ar ei holl fyddinoedd, ac ar y bobloedd lawer *sydd* gyd ag ef.

h Psal. 11. 6.

23 Fel hyn [i] yr ymfawrygaf, ac yr ymsancteiddiaf; a pharaf fy adnabod yngolwg cenhedloedd lawer, fel y gwypont mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

i Pen. 36. 23. a 37. 28.

PEN. XXXIX.

1 *Barn Duw yn erbyn Gog.* 8 *Buddugoliaeth Israel.* 11 *Claddu Gog yn Hamon-gog.* 17 *Gwledd yr adar.* 23 *Wedi dial ar Israel am ei bechodau, efe a gesglir drachefn trwy ffafr drugarowddol.*

587. PROPHWYDA hefyd, [a] fab dyn, yn erbyn Gog, a dywed, Fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; Wele fi yn dy erbyn di, Gog, pen-tywysog Mesech a Thubal.

a Pen. 38. 2.

2 A mi a'th ddychwelaf, ac † ni adawaf o honot ond y chweched ran, ac a'th ddygaf i fynu o ystlysau 'r gogledd, ac a'th ddygaf ar fynyddoedd Israel:

† Neu, *a'th ddaranwyf â chwe phla,* neu, *a'th dynnaf â bâch chwe-dant;*

fel Pen. 38. 4. Heb. *mi a'th chwechaf di.*

3 Ac a darawaf dy fwâ o'th law aswy, a gwnaf i'th saethau syrthio o'th law ddehau.

4 Ar fynyddoedd Israel y syrthi, ti a'th holl fyddinoedd, a'r bobloedd *sydd* gyd â thi: [b] i'r ehediaid, ‡ *i* bob rhyw aderyn, ac i fwystfilod y maes, y'th roddaf § i'*th* ddifa.

b Pen. 33. 27.
‡ Heb. *i'r aderyn o bob asgell.*
§ Heb. *i ddifa.*

5 Ar wyneb y maes y syrthi; canys myfi a'*i* dywedais, medd yr Arglwydd DDUW.

6 Anfonaf hefyd dân ar Magog, ac ym mysg y rhai a breswyliant yr ynysoedd yn ‖ ddiofraw; fel y gwypont mai myfi *yw* yr ARGLWYDD.

‖ Neu, *hyderus.*

7 Felly y gwnaf adnabod fy enw sanctaidd ynghanol fy mhobl Israel, ac ni adawaf halogi fy enw sanctaidd mwy: a'r cenhedloedd a gânt wybod mai myfi *yw* yr ARGLWYDD, y Sanct yn Israel.

8 ¶ Wele efe a ddaeth, ac a ddarfu, medd yr Arglwydd DDUW; dyma'r diwrnod am yr hwn y dywedais.

9 A phreswylwŷr dinasoedd Israel a ant allan, ac a gynneuant ac a losgant yr arfau, a'r tarian a'r astalch, y bwa a'r saethau, a'r llaw-ffon a'r waywffon; ïe, † llosgant hwynt yn tân saith mlynedd.

† Neu, *cynneuant dân â hwynt.*

10 Ac ni ddygant goed o'r maes, ac ni thorrant *ddim* o'r coedydd; canys â'r arfau y cynneuant dân: a hwy a yspeiliant eu hyspeilwŷr, ac a 'sglyfaethant *oddi ar* eu hysglyfaethwŷr, medd yr Arglwydd DDUW.

11 ¶ Bydd hefyd yn y dydd hwnnw, im' roddi i Gog le bedd yno yn Israel, dyffryn y fforddolion o du dwyrain y môr: ac efe a gau ‡ *ffroenau*'r fforddolion: ac yno y claddant Gog a'i holl dyrfa, a galwant *ef* Dyffryn § Hamon-gog.

‡ Neu, *safnau.*
§ Sef, *lliaws Gog.*

12 A thŷ Israel fydd yn eu claddu hwynt saith mis, er mwyn glanhâu 'r tir.

13 Ië, holl bobl y tir a'*u* claddant; a *hyn* fydd enwog iddynt y dydd y'm gogonedder, medd yr Arglwydd DDUW.

14 A hwy a neillduant wŷr gwastadol, y rhai a gynniweiriant trwy 'r wlad i gladdu gyd â'r fforddolion y rhai a adawyd ar wyneb y ddaear, i'w glanhâu hi: ym mhen saith mis y chwiliant.

15 A'r tramwywŷr a gynniweiriant trwy 'r tir, pan welo *un* asgwrn dyn, efe a ‖ gyfyd nôd wrtho, hyd oni chladdo 'r claddwŷr ef yn nyffryn † Hamon-gog.

‖ Heb. *adeilada.*
† Sef, *lliaws Gog.*

16 Ac enw 'r ddinas hefyd *fydd* ‡ Hamonah: felly y glanhânt y wlad.

‡ Sef, *y lliaws.*

17 ¶ Tithau fab dyn, fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; Dywed wrth § bob rhyw aderyn, ac wrth holl fwystfilod y maes, [c] Ymgesglwch, a deuwch; ymgynhullwch oddi amgylch at fy ‖ aberth yr ydwyf fi yn ei aberthu i chwi, aberth mawr ar fynyddoedd Israel, fel y bwyttaoch gig, ac yr yfoch waed.

§ Heb. *yr aderyn o bob asgell.*
c Esay 18. 6. a 34. 6. Jer. 12. 9. Seph. 1. 7. Dat. 19. 17.
‖ Neu, *laddfa.*

18 Cig y cedyrn a fwyttêwch, a chwi a yfwch waed tywysogion y ddaear, hyrddod, ŵyn, a bychod, bustych, yn basgedigion Basan oll.

19 Bwyttêwch hefyd fraster hyd ddigon, ac yfwch waed hyd oni feddwoch, o'm haberth a aberthais i chwi.

20 Felly y'ch diwellir ar fy mwrdd i â meirch a cherbydau, â *gwŷr* cedyrn a phob rhyfelwr, medd yr Arglwydd DDUW.

21 A gosodaf fy ngogoniant ym mysg y cenhedloedd, a'r holl genhedloedd a gânt weled fy marnedigaeth yr hon a wneuthum, a'm llaw yr hon a osodais arnynt.

22 A thŷ Israel a gânt wybod mai myfi

*yw* yr ARGLWYDD eu Duw hwynt o'r dydd
hwnnw allan.
23 ¶ Y cenhedloedd hefyd a gânt wybod
mai am eu hanwiredd eu hun y caethglud-
wyd tŷ Israel: o herwydd gwneuthur o
honynt gamwedd i'm herbyn, am hynny y
cuddiais fy wyneb oddi wrthynt, ac y rhodd-
ais hwynt yn llaw eu gelynion: felly hwy
a syrthiasant oll trwy y cleddyf.
24 Yn ol eu haflendid eu hun, ac yn ol eu
hanwireddau, y gwneuthum â hwynt, ac y
cuddiais fy wyneb oddi wrthynt.
25 Am hynny fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd DUW; Yr awr hon y dychwelaf
gaethiwed Jacob, tosturiaf hefyd wrth holl
dŷ Israel, a gwynfydaf dros fy enw sanct-
aidd;
26 Wedi dwyn o honynt eu gwaradwydd,
a'u holl gamweddau a wnaethant i'm herbyn,
pan drigent yn eu tir eu hun yn ddiofn, a
heb ddychrynydd.
27 Pan ddychwelwyf hwynt oddi wrth y
bobloedd, a'u casglu hwynt o wledydd eu
d Pen. 36. 23. gelynion, ac y'm [d] sancteiddier ynddynt
yngolwg cenhedloedd lawer;
28 Yna y cânt wybod mai myfi *yw* yr
† Heb. wrth gaethgludo o honof hwynt. ARGLWYDD eu Duw hwynt, † yr hwn a'u
caethgludais hwynt ym mysg y cenhedloedd,
ac a'u cesglais hwynt i'w tir eu hun, ac ni
adewais mwy *un* o honynt yno.
29 Ni chuddiaf chwaith fy wyneb mwy
e Joel 2. 28. Act. 2. 17. oddi wrthynt: o herwydd [e] tywelltais fy
yspryd ar dŷ Israel, medd yr Arglwydd
DDUW.

PEN. XL.

1 *Amser, a dull, a'diwedd y weledigaeth.* 6
*Portreiad porth y dwyrain,* 20 *a phorth y*
*gogledd,* 24 *a phorth y deheu,* 32 *a phorth*
*y dwyrain,* 35 *a phorth y gogledd.* 39 *Yr*
*wyth mwrdd.* 44 *Yr ystafelloedd.* 48 *Porth*
*y tŷ.*

574. YN y bummed flwyddyn ar hugain o'n
caethgludiad ni, yn nechreu'r flwydd-
yn, ar y degfed *dydd* o'r mis, yn y bedwa-
a Pen. 33. 21. redd flwyddyn ar ddeg wedi [a] taro'r ddinas,
o fewn corph y dydd hwnnw y daeth
b Pen. 1. 3. [b] llaw'r ARGLWYDD arnaf, ac a'm dug yno.
2 Yngweledigaethau Duw y dug efe fi i
dir Israel, ac a'm gosododd ar fynydd uchel
† Neu, wrtho. iawn, ac † arno *yr oedd* megis adeilad dinas o
du'r dehau.
3 Ac efe a'm dug yno: ac wele wr â'i
welediad fel gwelediad pres, ac yn ei law
c Dat. 11. 1. a 21. 15. linyn llin, a [c] chorsen fesur: ac yr ydoedd
efe yn sefyll yn y porth.
d Pen. 44. 5. 4 A dywedodd y gwr wrthyf, Ha [d] fab
dyn, gwel â'th lygaid, gwrando hefyd â'th
glustiau, a gosod dy galon ar yr hyn oll a
ddangoswyf it': o herwydd er mwyn dang-
os i ti *hyn* y'th ddygwyd yma: mynega i dŷ
Israel yr hyn oll a weli.
5 Ac wele fur o'r tu allan i'r tŷ o am-
gylch ogylch: a chorsen fesur yn llaw'r
gwr, yn chwe chufydd o *hŷd*, wrth gufydd
a dyrnfedd: ac efe a fesurodd led yr adeil-
adaeth yn un gorsen, a'r uchder yn un gorsen.
6 ¶ Ac efe a ddaeth i'r porth *oedd* â'i
wyneb tu a'r dwyrain, ac a ddringodd ar
hŷd ei risiau ef, ac a fesurodd riniog y
porth yn un gorsen o led, a'r rhiniog arall
yn un gorsen o led.
7 A *phob* ystafell *oedd* un gorsen o hŷd,
ac un gorsen o led: a phum cufydd *oedd*
rhwng yr ystafelloedd: a rhiniog y porth,
wrth gyntedd y porth o'r tu mewn, *oedd* un
gorsen.
8 Efe a fesurodd hefyd gyntedd y porth
oddi fewn, yn un gorsen.
9 Yna y mesurodd gyntedd y porth yn
wyth gufydd, a'i byst yn ddau gufydd, a
chyntedd y porth *oedd* o'r tu mewn.
10 Ac ystafelloedd y porth tu a'r dwyrain
*oedd* dair o'r tu yma, a thair o'r tu accw; un
fesur *oeddynt* ill tair: ac un mesur oedd i'r
pyst o'r tu yma ac o'r tu accw.
11 Ac efe a fesurodd led drws y porth yn
ddeg cufydd, *a* hŷd y porth yn dri chufydd
ar ddeg.
12 A'r terfyn o flaen yr ystafelloedd *oedd*
un cufydd *o'r naill du,* a'r terfyn o'r tu arall
yn un cufydd, a'r ystafelloedd *oedd* chwe
chufydd o'r tu yma, a chwe chufydd o'r tu
accw.
13 Ac efe a fesurodd y porth o nen y
*naill* ystafell hyd nen un arall, yn bùm
cufydd ar hugain o led, drws ar gyfer drws.
14 Ac efe a wnaeth byst o dri ugain cu-
fydd, a *hynny* hyd bost y cyntedd, am-
gylch ogylch y porth.
15 Ac o wyneb porth y dyfodiad i mewn,
hyd wyneb cyntedd y porth oddi mewn, *yr*
*oedd* deg cufydd a deugain.
16 A ffenestri ‡ cyfyng *oedd* i'r ystafell- ‡ Heb. caeedig.
oedd, ac i'w pyst o fewn y porth o am- § Neu, cyntedd-au.
gylch ogylch; ac felly *yr oedd* i'r § bwaau
meini: a ffenestri *oedd* o amgylch ogylch
‖ o fewn; ac *yr oedd* palmwŷdd ar *bob* ‖ Neu, tu ag i mewn.
post.
17 Ac efe a'm dug i'r cyntedd nesaf al-
lan, ac wele yno 'stafelloedd, a phalmant
wedi ei wneuthur i'r cyntedd o amgylch
ogylch; [e] deg ystafell ar hugain *oedd* ar y e Pen. 45. 5.
palmant.
18 A'r palmant gan ystlys y pyrth ar
gyfer hŷd y pyrth, *oedd* y palmant oddi ta-
nodd.
19 Ac efe a fesurodd y lled o wyneb y
porth isaf hyd wyneb y cyntedd oddi fewn,
yn gan cufydd oddi allan tu a'r dwyrain a'r
gogledd.
20 ¶ A'r porth yr hwn *oedd* â'i wyneb
tu a'r gogledd, ar y cyntedd nesaf allan, a
fesurodd efe ei hŷd a'i led.
21 A'i 'stafelloedd ef *oedd* dair o'r tu yma,
a thair o'r tu accw; ac yr ydoedd ei byst,
a'i fwaau meini, wrth fesur y porth cyntaf,
yn ddeg cufydd a deugain eu hŷd, a'r lled
yn bùm cufydd ar hugain.
22 Eu ffenestri hefyd, a'u bwaau meini,
a'u palmwŷdd, *oedd* wrth fesur y porth *oedd*
â'i wyneb tu a'r dwyrain; ar hŷd saith o
risiau hefyd y dringent iddo; a'i fwaau mei-
ni *oedd* o'u blaen hwynt.
23 A phorth y cyntedd nesaf i mewn *oedd*
ar gyfer y porth tu a'r gogledd, a thu a'r
dwyrain: ac efe a fesurodd o borth i borth
gan cufydd.
24 ¶ Wedi hynny efe a'm dug i tu a'r
deau, ac wele borth tu a'r deau, ac efe a
fesurodd ei byst a'i fwaau meini wrth y me-
surau hyn.
25 Ffenestri hefyd *oedd* iddo ac i'w fwaau
meini, o amgylch ogylch, fel y ffenestri
hynny, yn ddeg cufydd a deugain o hŷd,
ac yn bùm cufydd ar hugain o led.
26 Saith o risiau hefyd *oedd* ei esgynfa ef,
a'i fwaau meini o'u blaen hwynt: *yr oedd*
hefyd iddo balmwŷdd, un o'r tu yma, ac un
o'r tu accw, ar ei byst ef.
27 Ac *yr oedd* porth yn y cyntedd nesaf
i mewn tu a'r deau, ac efe a fesurodd o
borth i borth, tu a'r deau, gan cufydd.

28 Ac efe a'm dug i'r cyntedd nesaf i
mewn trwy borth y deau: ac a fesurodd
borth y deau wrth y mesurau hyn;
29 A'i 'stafelloedd, a'i byst, a'i fwaau meini,
wrth y mesurau hyn: ac *yr oedd* ffenestri
ynddo, ac yn ei fwaau meini, o amgylch
ogylch: deg cufydd a deugain *oedd* yr hŷd,
a phum cufydd ar hugain y lled.
30 A'r bwaau meini o amgylch ogylch
f Edrych adn. 21, 25, 33, 36. *oedd* f bùm cufydd ar hugain o hŷd, a phum
cufydd o led.
31 A'i fwaau meini *oedd* tu a'r cyntedd
nesaf allan; a phalmwŷdd *oedd* ar ei byst;
ac wyth o risiau *oedd* ei esgynfa ef.
32 ¶ Ac efe a'm dug i'r cyntedd nesaf i
mewn tu a'r dwyrain: ac a fesurodd y porth
wrth y mesurau hyn.
33 A'i 'stafelloedd, a'i byst, a'i fwaau
meini, *oedd* wrth y mesurau hyn: ac *yr oedd*
ffenestri ynddo ef, ac yn ei fwaau meini o
amgylch ogylch: yr hŷd *oedd* ddeg cufydd
a deugain, a'r lled yn bùm cufydd ar hu-
gain.
34 A'i fwaau meini *oedd* tu a'r cyntedd
nesaf allan; a phalmwŷdd *oedd* ar ei byst
o'r tu yma, ac o'r tu accw; a'i esgynfa *oedd*
wyth o risiau.
35 ¶ Ac efe a'm dug i borth y gogledd, ac
a'*i* mesurodd wrth y mesurau hyn:
36 Ei 'stafelloedd, ei byst, a'i fwaau meini,
a'r ffenestri iddo o amgylch ogylch: yr hŷd
*oedd* ddeg cufydd a deugain, a'r lled *oedd*
bùm cufydd ar hugain.
37 A'i byst *oedd* tu a'r cyntedd nesaf
allan; a phalmwŷdd ar ei byst o'r tu yma,
ac o'r tu accw; a'i esgynfa *oedd* wyth o
risiau.
38 A'r celloedd a'u drysau *oedd* wrth byst
y pyrth, lle y golchent y poeth-offrwm.
39 ¶ Ac ynghyntedd y porth *yr oedd* dau
fwrdd o'r tu yma, a dau fwrdd o'r tu accw,
g Lef. 4. 2. a 5. 2. a 6. 2. i ladd y poeth-offrwm, a'r g pech-aberth, a'r
h aberth dros gamwedd, arnynt.
h Lef. 7. 1. 40 Ac ar yr ystlys oddi allan, † lle y
† Neu, *wrth risiau drws porth, &c.* dringir i ddrws porth y gogledd, *yr oedd*
dau fwrdd; a dau fwrdd ar yr ystlys arall,
yr hwn *oedd* wrth gyntedd y porth.
41 Pedwar bwrdd *oedd* o'r tu yma, a
phedwar bwrdd o'r tu accw, ar ystlys y
porth; wyth bwrdd, ar y rhai y lladdent
*eu haberthau.*
42 A'r pedwar bwrdd i'r poeth-offrwm
*oedd* o gerrig nadd, yn un cufydd a hanner
o hŷd, ac yn un cufydd a hanner o led, ac
yn un cufydd o uchder: arnynt hwy hefyd
y gosodent yr offer y rhai y lladdent yr off-
rwm poeth a'r aberth â hwynt.
‡ Neu, *dau faen aelwyd.* 43 Hefyd *yr oedd* ‡ bachau, o un ddyrn-
fedd, wedi eu parottôi o fewn, o amgylch
ogylch: a chig yr offrwm *oedd* ar y byrdd-
au.
44 ¶ Ac o'r tu allan i'r porth nesaf i mewn
*yr oedd* ystafelloedd y cantorion o fewn y
cyntedd nesaf i mewn, yr hwn *oedd* ar ystlys
porth y gogledd; a'u hwynebau *oedd* tu a'r
deau: un *oedd* ar ystlys porth y dwyrain,
â'i wyneb tu a'r gogledd.
i Num. 3. 27, 28, 32, 38. 45 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Yr ysta-
fell hon, yr hon *sydd* â'i hwyneb tu a'r deau,
§ Neu, *ordinhad.* Felly adn. 46. *sydd* i'r offeiriaid i ceidwaid § cadwraeth
y tŷ.
46 A'r ystafell yr hon *sydd* â'i hwyneb tu
k Lef. 6. 12, 13. a'r gogledd, *sydd* i'r offeiriaid k ceidwaid
cadwraeth yr allor: y rhai hyn *yw* meibion
l 1 Bren. 2. 35. l Sadoc, y rhai ydynt o feibion Lefi, yn
nesâu at yr ARGLWYDD i weini iddo.

47 Felly efe a fesurodd y cyntedd, yn gan
cufydd o hŷd, ac yn gan cufydd o led, yn
bedeirongl; a'r allor *oedd* o flaen y tŷ.
48 ¶ Ac efe a'm dug i borth y tŷ, ac a
fesurodd *bob* post i'r porth, yn bùm cufydd
o'r naill du, ac yn bùm cufydd o'r tu arall:
a lled y porth *oedd* dri chufydd o'r naill du,
a thri chufydd o'r tu arall.
49 Y cyntedd *oedd* ugain cufydd o hŷd,
ac un cufydd ar ddeg o led: ac *efe a'm dug*
ar hŷd y grisiau ar hŷd y rhai y dringent
iddo: hefyd *yr ydoedd* colofnau wrth y pyst,
un o'r naill du, ac un o'r tu arall.

## PEN. XLI.

*Mesur, a rhannau, ac ystafelloedd, ac addurn y deml.*

AC efe a'm dug i i'r deml, ac a fesurodd 574.
y pyst yn chwe chufydd o led o'r naill
du, ac yn chwe chufydd o led o'r tu arall,
*fel yr oedd* lled y babell.
2 Lled y drws hefyd *oedd* ddeg cufydd;
ac ystlysau'r drws yn bùm cufydd o'r naill
du, ac yn bùm cufydd o'r tu arall: ac efe a
fesurodd ei hŷd ef yn ddeugain cufydd, a'r
lled yn ugain cufydd.
3 Ac efe a aeth tu ag i mewn, ac a fesur-
odd bost y drws yn ddau gufydd, a'r drws
yn chwe chufydd, a lled y drws yn saith
gufydd.
4 Ac a efe a fesurodd ei hŷd ef yn ugain a 1 Bren. 6.
cufydd; a'r lled yn ugain cufydd o flaen y 20.
deml: ac efe a ddywedodd wrthyf, Dyma'r
cyssegr sancteiddiolaf.
5 Ac efe a fesurodd bared y tŷ yn chwe
chufydd; a lled *pob* ystlys-gell yn bedwar
cufydd o amgylch ogylch i'r tŷ.
6 A'r celloedd *oedd* dair, cell ar gell, ac
yn ddeg ar hugain † o weithiau: ac yr oedd- † Neu,
ynt yn cyrhaeddyd at bared y tŷ yr hwn *o droedfeddau.*
*oedd* i'r 'stafelloedd o amgylch ogylch, fel
y byddent ynglŷn; ac nid oeddynt ynglŷn
o fewn pared y tŷ.
7 Ac b fe a ehangwyd, ac *oedd* yn myned b 1 Bren.
‡ ar dro uwch-uwch i'r celloedd: o her- 6. 8.
wydd tro'r tŷ oedd yn myned i fynu o ‡ Neu,
amgylch y tŷ: am hynny y tŷ *oedd* eheng- *yn grwn.*
ach oddi arnodd; ac felly y dringid o'r isaf
i'r uchaf trwy'r ganol.
8 Gwelais hefyd uchder y tŷ o amgylch
ogylch: seiliau'r celloedd *oedd* c gorsen he- c Pen. 40.
laeth o chwe chufydd mawrion. 5.
9 A thewder y mur yr hwn *oedd* i'r gell
o'r tu allan, *oedd* bùm cufydd; a'r gweddill
*oedd* le i'r celloedd y rhai *oedd* o fewn.
10 A rhwng yr ystafelloedd *yr oedd* lled
ugain cufydd ynghylch y tŷ o amgylch
ogylch.
11 A drysau'r ystlys-gell *oedd* tu a'r *llan-*
*nerch* weddill; un drws tu a'r gogledd, ac
un drws tu a'r deau: a lled y fan a weddill-
asid *oedd* bùm cufydd o amgylch ogylch.
12 A'r adeiladaeth yr hon *oedd* o flaen y
llannerch neillduol, ar y cwrr tu a'r gor-
llewin, *oedd* ddeg cufydd a thrugain o led;
a mur yr adeiladaeth *oedd* bùm cufydd o
dewder o amgylch ogylch, a'i hŷd *oedd* ddeg
cufydd a phedwar ugain.
13 Ac efe a fesurodd y tŷ, yn gan cufydd o
hŷd; a'r llannerch neillduol, a'r adeiladaeth,
a'i pharwydydd, yn gan cufydd o hŷd.
14 A lled wyneb y tŷ, a'r llannerch neill-
duol tu a'r dwyrain, *oedd* gan cufydd.
15 Ac efe a fesurodd hŷd yr adeiladaeth § Neu,
ar gyfer y llannerch neillduol yr hon *oedd* *rodfeydd a*
o'r tu cefn iddo, a'i § ystafelloedd o'r naill *cholofnau iddynt.*

du, ac o'r tu arall yn gan cufydd, gyd â'r deml oddi fewn, a drysau 'r cyntedd.

16 Y gorsingau, a'r ffenestri cyfyng, a'r ystafelloedd o amgylch ar eu tri uchder, ar gyfer y rhiniog a ystyllennasid â choed o amgylch ogylch, † ac o'r llawr hyd y ffenestri, a'r ffenestri *hefyd* a ystyllennasid;

† Neu, *a'r llawr.*

17 Hyd uwch ben y drws, a hyd y tŷ o fewn ac allan, ac ar yr holl bared o amgylch ogylch o fewn ac allan, wrth fesurau.

18 A cherubiaid hefyd ac â phalmwŷdd y gweithiasid ef, palmwŷdden rhwng pob dau gerub: a dau wyneb *oedd* i *bob* cherub.

19 [d] Canys wyneb dyn *oedd* tu a'r balmwŷdden o'r naill du, ac wyneb llew tu a'r balmwŷdden o'r tu arall: *yr oedd* wedi ei weithio ar hŷd y tŷ o amgylch ogylch.

[d] Pen. 1. 10.

20 Cherubiaid a phalmwŷdd a weithiasid o'r ddaear hyd oddi ar y drws, ac ar bared y deml.

21 Pedwar ochrog *oedd* ‡ pyst y deml, *ac* wyneb y cyssegr; gweledigaeth y *naill* fel gweledigaeth *y llall.*

‡ Heb. *post.*

22 Yr allor bren *oedd* dri chufydd ei huchder, a'i hŷd yn ddau gufydd: a'i chonglau, a'i huchder, a'i pharwydydd, *oedd* o bren. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Dyma'r [e] bwrdd *sydd* ger bron yr ARGLWYDD.

[e] Mal. 1. 7, 12.

23 Ac *yr ydoedd* dau ddrws i'r deml ac i'r cyssegr:

24 A dwy ddor i'r drysau, *sef* dwy ddor blygedig; dwy ddor i'r naill ddrws, a dwy ddor i'r llall.

25 A gwnaethid arnynt, ar ddrysau'r deml, gerubiaid a phalmwŷdd, fel y gwneuthid ar y parwydydd: ac *yr oedd* trawstiau coed ar wyneb y cyntedd o'r tu allan.

26 Ffenestri cyfyng hefyd a phalmwŷdd *oedd* o bob tu, ar ystlysau'r porth, ac *ar* ystafelloedd y tŷ, a'r trawstiau.

## PEN. XLII.

1 *Ystafelloedd yr offeiriaid;* 13 *a'r defnydd a wnaid â hwynt.* 19 *Mesurau y cyntedd nesaf allan.*

574. AC efe a'm dug i'r cyntedd nesaf allan, y ffordd tu a'r gogledd; ac a'm dug i'r ystafell *oedd* ar gyfer y llannerch neillduol, yr hon *oedd* ar gyfer yr adail tu a'r gogledd.

2 Drws y gogledd *oedd* ar gyfer hŷd y can cufydd, a lled y deg cufydd a deugain.

3 Ar gyfer yr ugain *cufydd* y rhai *oedd* i'r cyntedd nesaf i mewn, ac ar gyfer y palmant yr hwn *oedd* i'r cyntedd nesaf allan, *yr ydoedd* ystafell ar gyfer ystafell yn dri *uchder.*

4 Ac o flaen yr ystafelloedd *yr oedd* rhodfa yn ddeg cufydd o led oddi fewn, ffordd o un cufydd, a'u drysau tu a'r gogledd.

5 A'r ystafelloedd uchaf *oedd* gulion: o herwydd yr ystafelloedd † oeddynt uwch nâ'r rhai hyn, ‡ nâ'r rhai isaf ac nâ'r rhai canol o'r adeiladaeth.

† Neu, *oedd yn bwytta, neu, yn llyncu y rhai hyn, &c.*

‡ Neu, *a'r adeiladaeth oedd o'r rhai isaf a'r rhai canol.*

6 Canys yn dri *uchder yr oeddynt* hwy, ac heb golofnau iddynt fel colofnau y cynteddoedd: am hynny yr oeddynt hwy yn gyfyngach nâ'r rhai isaf ac nâ'r rhai canol o'r llawr *i fynu.*

7 A'r mur yr hwn *oedd* o'r tu allan ar gyfer yr ystafelloedd, tu a'r cyntedd nesaf allan o flaen yr ystafelloedd, *oedd* ddeg cufydd a deugain ei hŷd.

8 O herwydd hŷd yr ystafelloedd y rhai *oedd* yn y cyntedd nesaf allan *oedd* ddeg cufydd a deugain: ac wele, o flaen y deml *yr oedd* can cufydd.

9 Ac § oddi tan yr ystafelloedd hyn *yr ydoedd* ‖ mynediad i mewn o du'r dwyrain, † fforddd yr elid iddynt hwy o'r cyntedd nesaf allan.

§ Neu, *o'r yr ystafelloedd.*

‖ Neu, *yr hwn a'm dug i mewn.*

10 O fewn tewder mur y cyntedd tu a'r dwyrain, ar gyfer y llannerch neillduol, ac ar gyfer yr adeiladaeth, *yr oedd* yr ystafelloedd.

† Neu, *ac efe yn dyfod.*

11 A'r ffordd o'u blaen hwynt *oedd* fel gweledigaeth yr ystafelloedd y rhai *oedd* tu a'r gogledd; un hŷd â hwynt *oeddynt, ac* un lled â hwynt: a'u holl fynediad allan *oedd* yn ol eu dull hwynt, ac yn ol eu drysau hwynt.

12 Ac fel drysau'r ystafelloedd y rhai *oedd* tu a'r deau, *yr oedd* drws ym mhen y ffordd, y ffordd ym mhen y mur yn uniawn tu a'r dwyrain, yn y ddyfodfa i mewn.

13 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ystafelloedd y gogledd ac ystafelloedd y deau, y rhai *sydd* ar gyfer y llannerch neillduol, ystafelloedd sanctaidd *yw* y rhai hynny, lle [a] y bwytty'r offeiriaid y rhai a nesânt at yr ARGLWYDD, y pethau sanctaidd cyssegredig: yno y gosodant y sanctaidd bethau cyssegredig, a'r [b] bwyd-offrwm, a'r pechaberth, a'r aberth dros gamwedd; canys y lle *sydd* sanctaidd.

[a] Lef. 6. 16, 26.

[b] Lef. 2. 3, 10. a 6. 17, 25, 29. a 7. 1.

14 A phan elo'r offeiriaid i mewn iddynt, nid ant allan o'r cyssegr i'r cyntedd nesaf allan, eithr yno y gosodant eu dillad y rhai y gwasanaethant ynddynt; am eu *bod* yn sanctaidd; ac a wisgant wisgoedd eraill, ac a nesânt at yr hyn *a berthyn* i'r bobl.

15 Pan orphenasai efe fesuro'r tŷ oddi fewn, efe a'm dug i tu a'r porth *sydd* â'i wyneb tu a'r dwyrain, ac a'i mesurodd ef o amgylch ogylch.

16 Efe a fesurodd ‡ du'r dwyrain â chorsen fesur, yn bùm cant o gorsennau, wrth y gorsen fesur oddi amgylch.

‡ Heb. *wynt y dwyrain.*

17 Efe a fesurodd du'r gogledd yn bùm can corsen, wrth y gorsen fesur oddi amgylch.

18 Y tu deau a fesurodd efe yn bùm can corsen, wrth y gorsen fesur.

19 ¶ Efe a aeth o amgylch i du'r gorllewin, *ac* a fesurodd bùm can corsen, wrth y gorsen fesur.

20 Efe a fesurodd ei bedwar ystlys ef: mur *oedd* iddo ef o amgylch ogylch, [c] yn bùm can *corsen* o hŷd, ac yn bùm can *corsen* o led, i wahanu rhwng y cyssegr a'r digyssegr.

[c] Pen. 45. 2.

## PEN. XLIII.

1 *Gogoniant Duw yn dychwelyd i'r deml.* 7 *Pechod Israel yn rhwystro cymmyrcholdeb Duw.* 10 *Y prophwyd yn eu hannog hwy i edifarhâu, ac i gadw cyfraith y tŷ.* 13 *Mesurau* 18 *a defodau'r allor.*

AC efe a'm dug i'r porth, *sef* y porth sydd yn edrych tu a'r dwyrain. 574.

2 Ac wele ogoniant Duw Israel yn dyfod o ffordd y dwyrain; [a] a'i lais fel swn dyfroedd lawer, a'r ddaear yn disgleirio o'i ogoniant ef.

[a] Pen. 1. 24. Dat. 1. 15. a 14. 2. a 19. 1, 6.

3 Ac *yr oedd* [b] yn ol gweledigaeth y weledigaeth a welais, *sef* yn ol y weledigaeth a welais pan ddaethum [c] † i ddifetha'r

[b] Pen. 1. 4. a 8. 4.

[c] Felly Jer. 1. 10.

† Neu, *i brophwydo y difethid y ddinas.* Gwel Pen. 9. 2, 5.

ddinas: a'r gweledigaethau *oedd* fel y wel-
edigaeth a welswn wrth afon Chebar: yna
y syrthiais ar fy wyneb.
4 A gogoniant yr ARGLWYDD a ddaeth
i'r tŷ *ar hŷd* ffordd y porth *sydd* â'i wyneb
tu a'r dwyrain.
5 Felly 'r yspryd a'm cododd, ac a'm dug
[d] 1 Bren. 8. i'r cyntedd nesaf i mewn, ac wele, [d] llanw-
10, 11. asai gogoniant yr ARGLWYDD y tŷ.
6 Clywn *ef* hefyd yn llefaru wrthyf o'r
tŷ; ac yr oedd y gwr yn sefyll yn fy ymyl.
7 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ha fab
[e] 1 Chron. dyn, *dyma* le fy ngorseddfa, a [e] lle gwad-
28. 2. nau fy nhraed, lle y trigaf ym mysg mei-
bion Israel yn dragywydd; a'm henw sanct-
aidd ni haloga tŷ Israel mwy, *na* hwynt-hwy,
na'u brenhinoedd, trwy eu putteindra, na
[f] Lef. 26. thrwy [f] gyrph meirw eu brenhinoedd *yn* eu
30. huchel-leoedd.
Jer. 16. 18. 8 [g] Wrth osod eu rhiniog wrth fy rhiniog
[g] Edrych i, a'u gorsin wrth fy ngorsin i, † a phared
2 Bren. 16. rhyngof fi â hwynt, hwy a halogasant fy
14. a 21. 7. enw sanctaidd â'u ffieidd-dra y rhai a wnae-
Pen. 8. 3. thant: am hynny mi a'u hysais hwy yn fy
a 23. 39. llid.
a 44. 7.
† Neu, 9 Pellhânt yr awr hon eu putteindra, a
*canys* nid chelanedd eu brenhinoedd, oddi wrthyf fi,
oedd ond a mi a drigaf yn eu mysg hwy yn dragywydd.
*pared* 10 ¶ Ti fab dyn, dangos y tŷ i dŷ Is-
*rhyngof*, rael, fel y cywilyddiont am eu hanwired-
&c. dau; a mesurant ‡ y portreiad.
‡ Neu, 11 Ac os cywilyddiant am yr hyn oll a
*y swm*, neu, wnaethant, hyspysa iddynt ddull y tŷ, a'i
*y rhifedi*. osodiad, a'i fynediadau allan, a'i ddyfodiad-
au i mewn, a'i holl ddull, a'i holl ddeddfau,
a'i holl ddull, a'i holl gyfreithiau; ac ysgri-
fena o flaen eu llygaid hwynt, fel y cadwont
ei holl ddull ef, a'i holl ddeddfau, ac y
gwnelont hwynt.
12 Dyma gyfraith y tŷ; Ar ben y my-
nydd *y bydd* ei holl derfyn ef, yn gyssegr
sancteiddiolaf o amgylch ogylch: wele,
dyma gyfraith y tŷ.
13 ¶ A dyma fesurau 'r allor wrth gu-
[h] Pen. 40. fyddau. [h] Y cufydd *sydd* gufydd a dyrn-
5. a 41. 8. fedd; § y gwaelod *fydd* yn gufydd, a'r lled
§ Heb. yn gufydd, a'i hymyl-waith ar ei min o am-
*y fynwes*. gylch *fydd* yn rhychwant: a dyma le uchaf
yr allor.
14 Ac o'r gwaelod *ar* y llawr, hyd yr
ystôl isaf, *y bydd* dau gufydd, ac un cufydd
o led; a phedwar cufydd o'r ystôl leiaf hyd
yr ystôl fwyaf, a chufydd o led.
‖ Heb. 15 Felly 'r ‖ allor *fydd* bedwar cufydd; ac
*Harel*, sef, o'r † allor *y bydd* hefyd tu ag i fynu bedwar
*mynydd* o gyrn.
*Duw*.
† Heb. 16 A'r allor *fydd* ddeuddeg *cufydd* o hŷd,
*Arial*, sef, a deuddeg o led, yn ysgwâr yn ei phedwar
*llew Duw*, ystlys.
Esay 29. 1. 17 A'r ystôl *fydd* bedwar *cufydd* ar ddeg
o hŷd, a phedwar ar ddeg o led, yn ei
phedwar ystlys; a'r ymyl-waith o amgylch
iddi yn hanner cufydd; a'i gwaelod yn
[i] Edrych gufydd o amgylch; [i] a'i grisiau yn edrych
Exod. 20. tu a'r dwyrain.
26. 18 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ha
fab dyn, fel hyn y dywed yr Arglwydd
DDUW; Dyma ddeddfau 'r allor, yn y dydd
y gwneler hi, i boeth-offrymmu poeth-offrwm
arni, ac i daenellu gwaed arni.
19 Yna y rhoddi at yr offeiriaid y Lefiaid
(y rhai sydd o had Sadoc yn nesâu attaf fi,
medd yr Arglwydd DDUW, i'm gwasanae-
[k] Exod. thu) fustach ieuangc [k] yn bech-aberth.
29. 36. 20 A chymmer o'i waed ef, a dyro ar ei
Lef. 8. 14, phedwar corn hi, ac ar bedair congl yr
16.
ystôl, ac ar yr ymyl o amgylch: fel hyn y
glanhêi ac y cyssegri hi.
21 Cymmeri hefyd fustach y pech-aberth,
ac efe a'i llysg ef yn y lle nodedig i'r tŷ,
o'r tu allan i'r cyssegr.
22 Ac ar yr ail dydd ti a offrymmi fwch
geifr perffeith-gwbl yn bech-aberth; a hwy
a lanhânt yr allor, megis y glanhasant hi â'r
bustach.
23 Pan orphenych ei glanhâu, ti a off-
rymmi fustach ieuangc perffeith-gwbl, a
hwrdd perffeith-gwbl o'r praidd.
24 Ac o flaen yr ARGLWYDD yr off-
rymmi hwynt; a'r offeiriaid [l] a fwriant [l] Lef. 2. 13.
halen arnynt, ac a'u hoffrymmant hwy *yn*
boeth-offrwm i'r ARGLWYDD.
25 Saith niwrnod y darperi fwch *yn* bech-
aberth bob dydd; darparant hefyd fustach
ieuangc, a hwrdd o'r praidd, o rai perffeith-
gwbl.
26 Saith niwrnod y cyssegrant yr allor,
ac y glanhânt hi, ac ‡ yr ymgyssegrant. ‡ Heb. *y*
27 A phan ddarffo'r dyddiau hyn, bydd *llanwant*
ar yr wythfed dydd, ac o hynny allan, i'r *eu dwylaw*.
offeiriaid offrymmu ar yr allor eich poeth-
offrymmau a'ch ebyrth § hedd: a mi a fyd- § Neu,
daf foddlon i chwi, medd yr Arglwydd *diolch*.
DDUW.

PEN. XLIV.

1 *Porth y dwyrain a berthyn yn unig i'r ty-*
*wysog.* 4 *Ceryddu'r offeiriaid am halogi'r*
*cyssegr.* 9 *Na chaiff delw-addolwŷr swydd*
*yr offeiriaid;* 15 *ond meibion Sadoc a'i*
*caiff.* 17 *Ordeiniadau i'r offeiriaid.*

AC efe a wnaeth im' ddychwelyd ar hŷd 574.
ffordd porth y cyssegr nesaf allan, yr
hwn sydd yn edrych tu a'r dwyrain, ac *yr*
*oedd* yn gauad.
2 Yna y dywedodd yr ARGLWYDD
wrthyf, Y porth hwn fydd gauad; nid ago-
rir ef, ac nid â neb i mewn trwyddo ef: o
herwydd ARGLWYDD DDUW Israel a aeth
i mewn trwyddo ef; am hynny y bydd yn
gauad.
3 I'r tywysog *y mae*; y tywysog, efe a
eistedd ynddo i fwytta bara o flaen yr AR-
GLWYDD: ar hŷd ffordd cyntedd y porth
*hwnnw* y daw efe i mewn, a hŷd ffordd yr
un yr â efe allan.
4 ¶ Ac efe a'm dug i ffordd porth y gog-
ledd o flaen y tŷ: a mi a edrychais, ac
wele, [a] llanwasai gogoniant yr ARGLWYDD [a] Pen. 3.
dŷ 'r ARGLWYDD: a mi a syrthiais ar fy 23. a 43.
wyneb. 5.
5 A dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf,
† Gosod dy galon, [b] fab dyn, a gwel â'th † Sef,
lygaid, clyw hefyd â'th glustiau 'r hyn oll *Ystyria yn*
yr ydwyf yn ei ddywedyd wrthyt, am holl *dda*.
ddeddfau tŷ 'r ARGLWYDD, ac am ei holl [b] Pen. 40.
gyfreithiau; ‡ a gosod dy feddwl ar ddyfod- 4.
fa 'r tŷ, ac ar bob mynedfa allan o'r cyssegr. ‡ *ac ystyr-*
6 A dywed wrth y gwrthryfelgar, *sef* tŷ *ia*.
Israel, Fel hyn y dywed yr Arglwydd
DDUW; [c] Digon i chwi *hyn*, tŷ Israel, o'ch [c] Pen. 45.
holl ffieidd-dra; 9.
7 [d] Gan ddwyn o honoch § ddïeithriaid [d] Pen. 43.
[e] dïenwaededig o galon, a dïenwaededig 8.
o gnawd, i fod yn fy nghyssegr i'w halogi § Heb.
ef, *sef* fy nhŷ i, pan offrymmasoch fy *feibion*
mara, y brasder a'r gwaed; a hwy a dorra- *dieithr*.
sant fy nghyfammod, o herwydd eich holl [e] Lef. 26.
ffieidd-dra chwi. 41.
8 Ac ni chadwasoch gadwraeth fy mheth- ‖ Neu,
au cyssegredig; eithr gosodasoch i chwi eich *fy ordin-*
hunain geidwaid *ar* ‖ fy nghadwraeth yn fy *had*.
nghyssegr. Felly,
adn. 14, 16.

9 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Ni ddaw i'm cyssegr un mab dieithr
dienwaededig o galon, a dienwaededig o
gnawd, o'r holl feibion dieithr y rhai *sydd*
ym mysg meibion Israel.
10 A'r [f] Lefiaid y rhai a giliasant ym
mhell oddi wrthyf, pan gyfeiliornodd Israel,
y rhai a grwydrasant oddi wrthyf ar ol eu
delwau, hwy a ddygant eu hanwiredd.
11 Etto hwy a fyddant yn fy nghyssegr,
yn weinidogion *mewn* swydd ym mhyrth y
tŷ, ac yn gweini i'r tŷ: hwy a laddant yr
offrwm poeth, ac aberth y bobl, a hwy a sa-
fant o'u blaen hwy i'w gwasanaethu hwynt.
12 O herwydd gwasanaethu o honynt hwy
o flaen eu heilunod, a bod o honynt i dŷ
Israel yn dramgwydd i anwiredd, am hynny
y dyrchefais fy llaw yn eu herbyn hwynt,
medd yr Arglwydd Dduw, a hwy a ddy-
gant eu hanwiredd.
13 Ac ni ddeuant yn agos attaf fi i offeir-
iadu i mi, nac i nesâu at yr un o'm pethau
sanctaidd yn y cyssegr sancteiddiolaf: eithr
dygant eu cywilydd, a'u ffieidd-dra a wnae-
thant.
14 Eithr gwnaf hwynt yn geidwaid cadw-
raeth y tŷ, yn ei holl wasanaeth, ac yn yr
hyn oll a wneir ynddo.
15 ¶ Yna yr offeiriaid y Lefiaid, [g] meib-
ion Sadoc, y rhai a gadwasant gadwraeth fy
nghyssegr, pan gyfeiliornodd meibion Israel
oddi wrthyf, hwynt-hwy a nesânt attaf fi
i'm gwasanaethu, ac a safant o'm blaen i
offrymmu i mi y brasder a'r gwaed, medd yr
Arglwydd Dduw.
16 Hwy a ant i mewn i'm cyssegr, a hwy
a nesânt at [h] fy mwrdd i'm gwasanaethu, ac
a gadwant fy nghadwraeth.
17 ¶ A phan ddelont i byrth y cyntedd
nesaf i mewn, [i] gwisgant wisgoedd llïain;
ac na ddeued gwlan am danynt, tra y gwa-
sanaethant ym mhyrth y cyntedd nesaf i
mewn, ac o fewn.
18 Capiau llïain fydd am eu pennau
hwynt, a llodrau llïain fydd am eu llwynau
hwynt: nac ymwregysant † â dim a baro
chwŷs.
19 A phan elont i'r cyntedd nesaf allan,
*sef* at y bobl i'r cyntedd oddi allan, [k] dïosg-
ant eu gwisgoedd y rhai y gwasanaethasant
ynddynt, a gosodant hwynt o fewn celloedd
y cyssegr, a gwisgant ddillad eraill; ac [l] na
chyssegrant y bobl â'u gwisgoedd.
20 [m] Eu pennau hefyd ni eilliant, ac ni
ollyngant *eu* gwallt *yn llaes*: gan dalgrynnu
talgrynnant eu pennau.
21 Hefyd, [n] nac yfed un offeiriad win,
pan ddelont i'r cyntedd nesaf i mewn.
22 [o] Na chymmerant chwaith yn wrag-
edd iddynt wraig weddw, neu ‡ ysgaredig;
eithr morwynion o had tŷ Israel, neu'r
weddw a fyddo gweddw offeiriad, a gym-
merant.
23 A [p] dysgant i'm pobl *ragor* rhwng y
sanctaidd a'r halogedig, a gwnant iddynt
wybod *gwahan* rhwng aflan a glân.
24 Ac [q] mewn ymrafael hwy a safant
mewn barn, *ac* a farnant yn ol fy marn-
edigaethau i: cadwant hefyd fy nghyfreith-
iau a'm deddfau yn fy holl uchel-wyliau;
a sancteiddiant fy sabbothau.
25 [r] Ni ddeuant chwaith at ddyn marw i
ymhalogi: eithr wrth dad, ac wrth fam, ac
wrth fab, ac wrth ferch, wrth frawd, ac
wrth chwaer yr hon ni bu eiddo gwr, y gal-
lant ymhalogi.

[f] Edrych 2 Bren. 23. 8, &c. 2 Chron. 29. 4, 5.
[g] Pen. 40. 46. a 43. 19.
[h] Pen. 41. 22.
[i] Exod. 28. 39, 40, 43. a 39. 28.
† Neu, *mewn lleoedd chwŷslyd.* Heb. *mewn chwŷs,* neu, *yng-hylch chwŷs.*
[k] Pen. 42. 14.
[l] Pen. 46. 20. Edrych Exod. 29. 37. a 30. 29.
[m] Lef. 21. 5.
[n] Lef. 10. 9.
[o] Lef. 21. 7, 13.
‡ Heb. *yr hon a yrrwyd allan.*
[p] Lef. 10. 10, 11. Pen. 22. 26. Mal. 2. 7.
[q] Deut. 17. 8. 2 Chron. 19. 10.
[r] Lef. 21. 1, 11.

26 Ac [s] wedi ei buredigaeth y cyfrifir
iddo saith niwrnod.
27 A'r dydd yr elo i'r cyssegr, o fewn y
cyntedd nesaf i mewn, i weini yn y cyssegr,
offrymmed ei bech-aberth, medd yr Ar-
glwydd Dduw.
28 A bydd yn etifeddiaeth iddynt hwy:
[t] myfi *yw* eu hetifeddiaeth hwy. Ac na
roddwch berchennogaeth iddynt hwy yn
Israel; myfi *yw* eu perchennogaeth hwy.
29 Y bwyd-offrwm, a'r pech-aberth, a'r
aberth dros gamwedd, a fwyttânt hwy: a
phob § peth cyssegredig yn Israel fydd
eiddynt hwy.
30 ‖ A [u] blaenion pob blaen-ffrwyth o
bob *peth,* a phob offrwm pob dim oll o'ch
holl offrymmau, fydd eiddo'r offeiriaid.
[x] blaen-ffrwyth eich toes hefyd a roddwch
i'r offeiriad, i osod bendith ar dy dŷ.
31 [y] Na fwyttâed yr offeiriaid ddim a fu
farw ei hun, neu ysglyfaeth o aderyn neu o
anifail.

[s] Num. 6. 10. a 19. 11.
[t] Num. 18. 20. Deut. 10. 9. a 18. 1, 2. Jos. 13. 14, 33.
§ Neu, *diofrydbeth.*
‖ Neu, *A'r cyntaf,* neu, *A'r pennaf.*
[u] Exod. 13. 2. a 22. 29, 30. Num. 3. 13. a 18. 12.
[x] Num. 15. 20. Neh. 10. 37.
[y] Exod. 22. 31. Lef. 22. 8.

## PEN. XLV.

1 *Rhandir y cyssegr,* 6 *a'r eiddo'r ddinas,* 7 *a'r tywysog.* 9 *Ordeiniadau i'r tywysog.*

A † Phan rannoch y tir wrth goelbren yn
etifeddiaeth, [a] yr offrymmwch i'r Ar-
glwydd ‡ offrwm cyssegredig o'r tir; yr
hŷd *fydd* pum mil ar hugain *o gorsennau* o
hŷd, a dengmil o led. Cyssegredig *fydd*
hynny yn ei holl derfyn o amgylch.
2 O hyn *y bydd* i'r cyssegr [b] bùm cant *ar*
*hŷd,* a phum cant *ar led,* yn bedeirongl
oddi amgylch; a deg cufydd a deugain, yn
§ faes pentrefol iddo o amgylch.
3 Ac o'r mesur hwn y mesuri bùm mil
ar hugain o hŷd, a dengmil o led; ac yn
hwnnw y bydd y cyssegr, *a'r* lle sancteidd-
iolaf.
4 Y rhan gyssegredig o'r tir fydd i'r offeir-
iaid, y rhai a wasanaethant y cyssegr, y rhai
a nesânt i wasanaethu'r Arglwydd; ac
efe a fydd iddynt yn lle tai, ac yn gyssegrfa
i'r cyssegr.
5 A'r pum mil ar hugain o hŷd, a'r
dengmil o led, fydd hefyd i'r Lefiaid y rhai
a wasanaethant y tŷ, yn etifeddiaeth [c] ugain
o 'stafelloedd.
6 ¶ Rhoddwch hefyd bùm mil o led, a
phum mil ar hugain o hŷd, yn berchennog-
aeth i'r ddinas, ar gyfer offrwm y rhan gys-
segredig: i holl dŷ Israel y bydd *hyn.*
7 ¶ A *rhan fydd* i'r tywysog o'r tu yma
ac o'r tu accw i offrwm y rhan gyssegr-
edig, ac i berchennogaeth y ddinas, ar
gyfer y rhan gyssegredig, ac ar gyfer eti-
feddiaeth y ddinas, o du'r gorllewin tu a'r
gorllewin, ac o du'r dwyrain tu a'r dwy-
rain: a'r hŷd *fydd* ar gyfer *pob* un o'r
rhannau, o derfyn y gorllewin hyd derfyn
y dwyrain.
8 Y*n* y tir y bydd ei etifeddiaeth ef yn
Israel, ac [d] ni orthrymma fy nhywysogion
fy mhobl i mwy; a'r *rhan* arall o'r tir a rod-
dant i dŷ Israel yn ol eu llwythau.
9 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; [e] Digon i chwi hyn, tywysogion
Israel; bwriwch ymaith drawsder a difrod,
gwnewch hefyd farn a chyfiawnder, tynn-
wch ymaith eich ‖ trethau oddi ar fy mhobl,
medd yr Arglwydd Dduw.
10 [f] Bydded gennych gloriannau un-
iawn, ac ephah uniawn, a bàth uniawn.

574.
† Heb. *phan baroch i'r tir syrthio yn etifeddiaeth.*
[a] Pen. 48. 8.
‡ Heb. *sancteiddrwydd,* neu, *gyssegr.*
[b] Pen. 42. 20.
§ Neu, *llennyrch gweigion.*
[c] Edrych Pen. 40. 17.
[d] Pen. 46. 18.
[e] Pen. 44. 6.
‖ Neu, *cymhellion.* Heb. *gwthio allan.*
[f] Lef. 19. 35, 36.

11 Bydded yr ephah a'r bàth un fesur; gan gynnwys o'r bàth ddegfed ran homer, a'r ephah ddegfed ran homer: wrth yr homer y bydd eu mesur hwynt.

g Exod. 30. 13. Lef. 27. 25. Num. 3. 47. 12 g Y sicl *fydd* ugain gerah: ugain sicl, a phum sicl a'r hugain, a phymtheg sicl, fydd maneh i chwi.

13 Dyma 'r offrwm a offrymmwch: chweched ran ephah o homer o wenith; felly y rhoddwch chweched ran ephah o homer o haidd.

14 Am ddeddf yr olew, bàth o olew, degfed ran bàth *a roddwch* o'r corus; yr hyn *yw* homer o ddeg bàth: o herwydd deg bàth *yw* homer.

† Neu, oen, neu, fynn. ‡ Neu, diolch. 15 Un † milyn hefyd o'r praidd *a offrymmwch o bob* deucant, allan o ddolydd Israel, yn fwyd-offrwm, ac yn boeth-offrwm, ac yn aberthau ‡ hedd, i wneuthur cymmod drostynt, medd yr Arglwydd DDUW.

§ Neu, gyd a'r. 16 Holl bobl y tir fyddant dan yr offrwm hwn § i'r tywysog yn Israel.

|| Neu, diolch. 17 Ac ar y tywysog y bydd poeth-offrwm, a bwyd-offrwm, a diod-offrwm, ar yr uchel-wyliau, a'r newydd-loerau, a'r sabbothau, trwy holl osodedig wyliau tŷ Israel: efe a ddarpara bech-aberth, a bwyd-offrwm, a phoeth-offrwm, ac aberthau || hedd, i wneuthur cymmod dros dŷ Israel.

h Lef. 16. 16. 18 Fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; O fewn y *mis* cyntaf, ar y *dydd* cyntaf o'r mis, y cymmeri fustach ieuangc perffeith-gwbl, ac h y puri 'r cyssegr.

19 Yna y cymmer yr offeiriad o waed y pech-aberth, ac a'i rhydd ar orsingau 'r tŷ, ac ar bedair congl ystôl yr allor, ac ar orsingau porth y cyntedd nesaf i mewn.

20 Felly y gwnei hefyd ar y seithfed *dydd* o'r mis, dros y neb a becho yn amryfus, a thros yr ehud: felly y purwch y tŷ.

i Exod. 12. 3. Lef. 23. 5. Num. 9. 3. a 28. 17. Deut. 16. 1. 21 i Yn y *mis* cyntaf, ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis, y bydd i chwi y pasg; gwyl *fydd i chwi* saith niwrnod: bara croyw a fwyttewch.

22 A'r tywysog a ddarpara ar y dydd hwnnw drosto ei hun, a thros holl bobl y wlad, fustach *yn* bech-aberth.

23 A saith niwrnod yr wyl y darpara efe yn offrwm poeth i'r ARGLWYDD, saith o fustych, a saith o hyrddod perffeith-gwbl, bob dydd o'r saith niwrnod; a bwch geifr yn bech-aberth bob dydd.

24 Bwyd-offrwm hefyd a ddarpara efe, *sef* ephah gyd â *phob* bustach, ac ephah gyd â *phob* hwrdd; a hìn o olew gyd â'r ephah.

k Lef. 23. 33. Num. 29. 12. Deut. 16. 13. ¶ 25 k Yn y seithfed *mis*, ar y pymthegfed dydd o'r mis, y gwna y cyffelyb ar yr wyl *dros* saith niwrnod; *sef* fel y pech-aberth, fel y poeth-offrwm, ac fel y bwyd-offrwm, ac fel yr olew.

PEN. XLVI.

1 *Ordeiniadau i'r tywysog pan addolo;* 9 *ac i'r bobl.* 16 *Trefn am etifeddiaeth y tywysog.* 19 *Y cyntedd i ferwi ac i bobi.*

574. FEL hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; Porth y cyntedd nesaf i mewn, yr hwn sydd yn edrych tu a'r dwyrain, fydd yn gauad y chwe diwrnod gwaith; ond ar y dydd sabboth yr agorir ef, ac efe a agorir ar ddydd y newydd-loer.

2 A'r tywysog a ddaw *ar hŷd* ffordd cyntedd y porth oddi allan, ac a saif wrth orsing y porth; a'r offeiriaid a ddarparant ei boeth-offrwm ef a'i aberthau hedd, ac efe a addola wrth riniog y porth; ac a â allan: a'r porth ni chaeir hyd yr hwyr.

3 Pobl y tir a addolant hefyd *wrth* ddrws y porth hwnnw, ar y sabbothau ac ar y newydd-loerau, o flaen yr ARGLWYDD.

4 A'r offrwm poeth a offrymmo'r tywysog i'r ARGLWYDD ar y dydd sabboth, *fydd* chwech o ŵyn perffeith-gwbl, a hwrdd perffeith-gwbl:

5 A bwyd-offrwm o ephah gyd â'r hwrdd, a rhodd ei law o fwyd-offrwm gyd â'r ŵyn, a hìn o olew gyd â'r ephah.

6 Ac ar ddydd y newydd-loer, bustach ieuangc perffeith-gwbl, a chwech o ŵyn, a hwrdd: perffeith-gwbl fyddant.

7 Ac efe a ddarpara ephah gyd â'r bustach, ac ephah gyd â'r hwrdd, yn fwyd offrwm; a chyd â'r ŵyn fel y cyrhaeddo ei law ef, a hìn o olew gyd â *phob* ephah.

8 A phan ddelo'r tywysog i mewn, *ar hŷd* ffordd cyntedd y porth y daw i mewn, ac ar hŷd y ffordd honno yr â allan.

9 ¶ A phan ddelo pobl y tir o flaen yr ARGLWYDD ar y gwyliau gosodedig, yr hwn a ddelo i mewn ar hŷd ffordd porth y gogledd i addoli, a â allan i ffordd porth y deau; a'r hwn a ddelo ar hŷd ffordd porth y deau, a â allan ar hŷd ffordd porth y gogledd: na ddychweled i ffordd y porth y daeth i mewn trwyddo, eithr eled allan ar ei gyfer.

10 A phan ddelont hwy i mewn, y daw y tywysog yn eu mysg hwy; a phan elont allan, yr a yntau allan.

11 Ac ar y gwyliau a'r uchel-wyliau *hefyd* y bydd y bwyd-offrwm o ephah gyd â *phob* bustach, ac ephah gyd â *phob* hwrdd, a rhodd ei law gyd â'r ŵyn, a hìn o olew gyd â'r ephah.

12 A phan ddarparo'r tywysog boeth-offrwm gwirfodd, neu aberthau hedd gwirfodd i'r ARGLWYDD, yna 'r egyr *un* iddo 'r porth sydd yn edrych tu a'r dwyrain, ac efe a ddarpara ei boeth-offrwm a'i aberthau hedd, fel y gwnaeth ar y dydd sabboth; ac a â allan: ac *un* a gau'r porth ar ol ei fyned ef allan.

13 a Oen † blwydd perffeith-gwbl *hefyd* a ddarperi yn boeth-offrwm i'r ARGLWYDD beunydd: o fore i fore y darperi ef. a Exod. 29. 38. Num. 28. 3. † Heb. mab ei flwyddyn.

14 Darperi hefyd yn fwyd-offrwm gyd ag ef o fore i fore, chweched ran ephah, a thrydedd ran hìn o olew, i gymmysgu 'r peilliaid, yn fwyd-offrwm i'r ARGLWYDD, *trwy* ddeddf dragywyddol byth.

15 Fel hyn y darparant yr oen, a'r bwyd-offrwm, a'r olew, o fore i fore, *yn* boeth-offrwm gwastadol.

16 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd DDUW; Os rhydd y tywysog rodd i neb o'i feibion o'i etifeddiaeth, eiddo ei feibion fydd hynny. eu perchennogaeth *fydd* hynny wrth etifeddiaeth.

17 Ond pan roddo efe rodd o'i etifeddiaeth i un o'i weision, bydded hefyd eiddo hwnnw hyd flwyddyn y rhyddid; yna y dychwel i'r tywysog: etto ei etifeddiaeth *fydd eiddo* ei feibion, iddynt hwy.

18 Ac b na chymmered y tywysog o etifeddiaeth y bobl, i'w gorthrymmu hwynt allan o'u perchennogaeth; *eithr* rhodded etifeddiaeth i'w feibion o'i berchennogaeth ei hun: fel na wasgarer fy mhobl bob un allan o'i berchennogaeth. b Pen. 45. 8.

19 ¶ Ac efe a'm dug trwy 'r ddyfodfa *oedd* ar ystlys y porth, i 'stafelloedd cyssegredig yr offeiriaid y rhai oedd yn edrych tu a'r gogledd: ac wele yno le ar y ddau ystlys tu a'r gorllewin.

20 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Dyma'r fan lle y beirw'r offeiriaid yr aberth dros gamwedd a'r pech-aberth, a lle y pobant y bwyd-offrwm; fel na ddygont *hwynt* i'r cyntedd nesaf allan, [c] i sancteiddio'r bobl.

[c] Pen. 44. 19.

21 Ac efe a'm dug i'r cyntedd nesaf allan, ac a'm tywysodd heibio i bedair congl y cyntedd; ac wele † gyntedd ym mhob congl i'r cyntedd.

† Heb. *gyntedd ynghongl cyntedd, a chyntedd ynghongl cyntedd.*

22 Ym mhedair congl y cyntedd *yr ydoedd* cynteddau ‡ cyssylltedig o ddeugain *cufydd* o hŷd, a deg ar hugain o led: un fesur *oedd* y § conglau ill pedair.

‡ Neu, *wedi eu gwneuthur â simneiau.* § Neu, *conglog.*

23 Ac *yr ydoedd* adail newydd o amgylch ogylch iddynt ill pedair, a cheginau wedi eu gwneuthur oddi tan y muriau oddi amgylch.

24 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Dyma dŷ'r cogau, lle y beirw gweinidogion y tŷ aberth y bobl.

## PEN. XLVII.

*1 Gweledigaeth y dyfroedd sanctaidd; 6 a'u rhinwedd. 13 Terfynau'r wlad; 22 a'i rhannu wrth goelbren.*

574.

AC efe a'm dug i drachefn i ddrws y tŷ; ac wele [a] ddwfr yn dyfod allan oddi tan riniog y tŷ tu a'r dwyrain: o herwydd wyneb y tŷ *oedd tu* a'r dwyrain; a'r dyfroedd oedd yn disgyn oddi tanodd o ystlys dehau'r tŷ, o du'r deau i'r allor.

[a] Joel 3. 18. Zech. 15. 1. a 14. 8. Dat. 22. 1.

2 Ac efe a'm dug i *ar hŷd* ffordd y porth tu a'r gogledd, ac a wnaeth im' amgylchu'r ffordd oddi allan hyd y porth nesaf allan *ar hŷd* y ffordd sydd yn edrych tu a'r dwyrain; ac wele ddyfroedd yn tarddu ar yr ystlys dehau.

3 A phan aeth y gwr yr hwn oedd â'r llinyn yn ei law allan tu a'r dwyrain, efe a fesurodd fil o gufyddau, ac a'm tywysodd i trwy'r dyfroedd; † a'r dyfroedd hyd y fferau.

† Heb. *dyfroedd y fferau.*

4 Ac efe a fesurodd fil *craill*, ac a'm tywysodd trwy'r dyfroedd; *a'r* dyfroedd hyd y gliniau: ac a fesurodd fil *eraill*, ac a'm tywysodd trwodd; *a'r* dyfroedd hyd y lwynau:

5 Ac a fesurodd fil *eraill*; *ac* afon *oedd* yr hon ni allwn fyned trwyddi: canys codasai'r dyfroedd yn ddyfroedd ‡ nofiadwy, yn afon ni ellid myned trwyddi.

‡ Heb. *nofio.*

6 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, A welaist ti *hyn*, fab dyn? Yna y'm tywysodd, ac y'm dychwelodd hyd lan yr afon.

7 Ac wedi i mi ddychwelyd, wele [b] ar fin yr afon goed lawer iawn o'r tu yma ac o'r tu accw.

[b] Dat. 22. 2.

8 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Y dyfroedd hyn sydd yn myned allan tu a bro'r dwyrain, ac a ddisgynant i'r § gwastad, ac a ant i'r môr: *ac* wedi eu myned i'r môr, yr iacheir y dyfroedd.

§ Neu, *anialwch.* Edrych Deut. 3. 17. a 4. 49. Jos. 3. 16.

9 A bydd i bob peth byw, yr hwn a ymlusgo, pa le bynnag y delo'r ‖ afonydd, gael byw: ac fe fydd pysgod lawer iawn, o herwydd dyfod y dyfroedd hyn yno: canys iacheir hwynt, a phob dim lle y delo'r afon fydd byw.

‖ Heb. *ddwy afon.*

10 A bydd i'r pysgodwŷr sefyll arni, o En-gedi hyd En-eglaim; hwy a fyddant yn daenfa rhwydau: eu pysgod fydd yn ol eu rhyw, fel pysgod [c] y môr mawr, yn llawer iawn.

[c] Num. 34. 6.

11 Ei lleoedd lleidiog a'i chorsydd † ni iacheir; i halen y rhoddir hwynt.

† Neu, *a'r hyn ni iacheir.*

12 Ac wrth yr afon y cyfyd, ar ei min o'r ddeutu, pob pren ymborth; [d] ei ddalen ni syrth, a'i ffrwyth ni dderfydd: yn ei fisoedd y dwg ffrwyth ‡ newydd; o herwydd ei ddyfroedd, hwy a ddaethant allan o'r cyssegr: am hynny y bydd ei ffrwyth yn ymborth, a'i [e] ddalen § yn feddyginiaeth.

[d] Job 8. 16. Psal. 1. 3. Jer. 17. 8.
‡ Neu, *arbennig.*
[e] Dat. 22. 2.
§ Neu, *i ysglyfaethu, neu, ddolurian.*

13 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Dyma'r terfyn wrth yr hwn y rhennwch y tir yn etifeddiaeth i ddeuddeg llwyth Israel: [f] Joseph *a gaiff ddwy* o rannau.

[f] Gen. 48. 5. 1 Chron. 5. 1. Pen. 48. 4, 5.

14 Hefyd chwi a'i hetifeddwch ef, bob un cystal a'i gilydd; *am* yr hwn y [g] ‖ tyngais ar ei roddi i'ch tadau: a'r tir hwn a syrth i chwi yn etifeddiaeth.

[g] Gen. 15. 7. a 17. 8. a 26. 3. a 28. 13.
‖ Heb. *codais fy llaw.*

15 A dyma derfyn y tir o du'r gogledd, o'r môr mawr tu a Hethlon, ffordd yr eir i Zedad:

16 Hamath, Berothah, Sibraim, yr hwn *sydd* rhwng terfyn Damascus a therfyn Hamath; † Hasar-hatticon, yr hwn *sydd* ar derfyn Hauran.

† Neu, *y ganol-dref.*

17 A'r terfyn o'r môr fydd [h] Hasar-enan, terfyn Damascus, a'r gogledd tu a'r gogledd, a therfyn Hamath. A dyma du'r gogledd.

[h] Pen. 48. 1.

18 Ac ystlys y dwyrain a fesurwch o Hauran, ac ‡ o Ddamascus, ac o Gilead, ac o dir Israel *wrth* yr Iorddonen, o'r terfyn hyd fôr y dwyrain. A dyma du'r dwyrain.

‡ Heb. *oddi rhwng Damascus*

19 A'r ystlys ddeau tu a'r deau, o Tamar hyd ddyfroedd § cynnen Cades, ‖ yr afon hyd y môr mawr. A dyma'r ystlys ddeau tu a † Theman.

§ Neu, *Meribath yn Cades.* ‖ Neu, *y dyffryn.* † Neu, *'r deau.*

20 A thu'r gorllewin *fydd* y môr mawr, o'r terfyn hyd oni ddeuer ar gyfer Hamath. Dyma du'r gorllewin.

21 Felly y rhennwch y tir hwn i chwi, yn ol llwythau Israel.

22 ¶ Bydd hefyd i chwi ei rannu ef wrth goelbren yn etifeddiaeth i chwi, ac i'r dieithriaid a ymdeithiant yn eich mysg, y rhai a genhedla blant yn eich plith: a byddant i chwi fel un wedi ei eni yn y wlad ym mysg meibion Israel; gyd â chwi y cânt etifeddiaeth ym mysg llwythau Israel.

23 A bydd ym mha lwyth bynnag yr ymdeithio'r dieithr, yno y rhoddwch ei etifeddiaeth ef, medd yr Arglwydd Dduw.

## PEN. XLVIII.

*1, 23 Rhandiroedd y deuddeg llwyth. 8 Rhandir y cyssegr; 15 a'r ddinas, a'i phentrefydd; 21 a'r tywysog. 30 Mesurau pyrth y ddinas.*

A Dyma enwau'r llwythau. [a] O gwrr y gogledd ar duedd ffordd Hethlon, ffordd yr eir i Hamath, Hasar-enan, terfyn Damascus tu a'r gogledd, i duedd Hamath, (canys y rhai hyn oedd ei derfynau dwyrain a gorllewin) † rhan i Ddan. 574.

[a] Pen. 47. 15, &c.
† Heb. *un rhan.* Felly adn. 2, 3, &c.

2 Ac ar derfyn Dan, o du'r dwyrain hyd du'r gorllewin, *rhan* i Aser.

3 Ac ar derfyn Aser, o du'r dwyrain hyd du'r gorllewin, i Naphtali *ran.*

4 Ac ar derfyn Naphtali, o du'r dwyrain hyd du'r gorllewin, i Manasseh *ran.*

5 Ac ar derfyn Manasseh, o du'r dwyrain hyd du'r gorllewin, i Ephraim *ran.*

6 Ac ar derfyn Ephraim, o du'r dwyrain hyd du'r gorllewin, i Reuben *ran.*

7 Ac ar derfyn Reuben, o du'r dwyrain hyd du'r gorllewin, i Judah *ran.*

8 ¶ Ac ar derfyn Judah, o du'r dwyrain hyd du'r gorllewin, y bydd [b] yr offrwm a offrymmoch yn bum mil ar hugain *o gorsennau o* led, ac *o* hŷd fel un o'r rhannau, o du'r dwyrain hyd du'r gorllewin: a'r cyssegr fydd yn ei ganol.

[b] Pen. 45. 1.

9 Yr offrwm a offrymmoch i'r ARGLWYDD *fydd* bùm mil ar hugain o hŷd, a dengmil o led.

10 Ac eiddo'r rhai hyn fydd yr offrwm cyssegredig, *sef* eiddo'r offeiriaid *fydd* pum mil ar hugain tu a'r gogledd *o hŷd*, a dengmil tu a'r gorllewin o led; felly dengmil tu a'r dwyrain o led, a phum mil ar hugain tu a'r dehau o hŷd: a chyssegr yr ARGLWYDD fydd yn ei ganol.

11 [c] † I'r offeiriaid cyssegredig o feibion Sadoc *y bydd*, y rhai a gadwasant ‡ fy nghladwriaeth, y rhai ni chyfeiliornasant pan gyfeiliornodd plant Israel, megis y cyfeiliornodd y Lefiaid.

[c] Pen. 44. 15.
† Neu, *Y rhan gyssegredig fydd i'r offeiriaid o feibion Sadoc.*
‡ Neu, *fy ordinhad.*

12 A bydd eiddynt yr hyn a offrymmir o offrwm y tir, yn sancteidd-beth cyssegredig wrth derfyn y Lefiaid.

13 A'r Lefiaid *a gânt*, ar gyfer terfyn yr offeiriaid, bùm mil ar hugain o hŷd, a dengmil o led: pob hŷd *fydd* bùm mil ar hugain, a'r lled yn ddengmil.

14 Hefyd ni werthant *ddim* o hono, ac ni chyfnewidiant, ac ni throsglwyddant flaenffrwyth y tir; o herwydd cyssegredig *yw* i'r ARGLWYDD.

15 ¶ A'r pum mil gweddill o'r lled, ar gyfer y pum mil ar hugain, fydd digyssegredig, yn drigfa ac yn faes pentrefol i'r ddinas, a'r ddinas fydd yn ei ganol.

16 A dyma ei fesurau ef; Ystlys y gogledd *fydd* bùm cant a phedair mil, ac ystlys y deau yn bùm cant a phedair mil, felly o du 'r dwyrain yn bùm cant a phedair mil, a thu a'r gorllewin yn bùm cant a phedair mil.

17 A maes pentrefol y ddinas fydd hefyd tu a'r gogledd yn ddeucant a deg a deugain, ac yn ddeucant a deg a deugain tu a'r dehau, ac yn ddeucant a deg a deugain tu a'r dwyrain, ac yn ddeucant a deg a deugain tu a'r gorllewin.

18 A'r gweddill o'r hŷd, ar gyfer offrwm y rhan gyssegredig, *fydd* yn ddengmil tu a'r dwyrain, ac yn ddengmil tu a'r gorllewin: ac ar gyfer offrwm y rhan gyssegredig y bydd; a'i gnwd fydd yn ymborth i weinidogion y ddinas.

19 A gweinidogion y ddinas a'i gwasanaethant o holl lwythau Israel.

20 Yr holl offrwm *fydd* bùm mil ar hugain, wrth bùm mil ar hugain: yn bedeirongl yr offrymmwch yr offrwm cyssegredig, gyd â pherchenogaeth y ddinas.

21 ¶ A'r hyn a adewir *fydd* i'r tywysog, o ddeutu 'r offrwm cyssegredig, ac o berchenogaeth y ddinas, ar gyfer y pum mil ar hugain, o'r offrwm tu a therfyn y dwyrain, a thu a'r gorllewin, ar gyfer y pum mil ar hugain tu a therfyn y gorllewin, gyferbyn a rhannau'r tywysog: a'r offrwm cyssegredig fydd; a chyssegrfa'r tŷ *fydd* ynghanol hynny.

22 Felly o berchenogaeth y Lefiaid, ac o berchenogaeth y ddinas, ynghanol yr hyn sydd i'r tywysog rhwng terfyn Judah a therfyn Benjamin, eiddo'r tywysog fydd.

23 Ac am y rhan arall o'r llwythau, o du 'r dwyrain hyd du 'r gorllewin, *y bydd* § *rhan* i Benjamin. § Heb. *un rhan.*

24 Ac ar derfyn Benjamin, o du 'r dwyrain hyd du 'r gorllewin, *y bydd* ‖ *rhan* i Simeon. ‖ Heb. *un rhan.*

25 Ac ar derfyn Simeon, o du 'r dwyrain hyd du 'r gorllewin, *rhan* i Issachar.

26 Ac ar derfyn Issachar, o du 'r dwyrain hyd du 'r gorllewin, *rhan* i Zabulon.

27 Ac ar derfyn Zabulon, o du 'r dwyrain hyd du 'r gorllewin, *rhan* i Gad.

28 Ac ar derfyn Gad, ar y tu dehau tu a'r dehau, y terfyn fydd o [d] Tamar *hyd* ddyfroedd † cynnen Cades, *a* hyd yr afon tu a'r môr mawr.

[d] Pen. 47. 19.
† Neu, *Meribah.*

29 Dyma'r tir a rennwch wrth goelbren yn etifeddiaeth i lwythau Israel, a dyma eu rhannau hwynt, medd yr Arglwydd DDUW.

30 ¶ Dyma hefyd fynediad allan y ddinas, o du 'r gogledd pum cant a phedair mil o fesurau.

31 A [e] phyrth y ddinas *fydd* ar enwau llwythau Israel, tri phorth tu a'r gogledd; porth Reuben yn un, porth Judah yn un, porth Lefi yn un.

[e] Dat. 21. 12, &c.

32 Ac ar du 'r dwyrain pum cant a phedair mil: a thri phorth; *sef* porth Joseph yn un, porth Benjamin yn un, porth Dan yn un.

33 A thu a'r deau pum cant a phedair mil o fesurau: a thri phorth; porth Simeon yn un, a phorth Issachar yn un, a phorth Zabulon yn un.

34 Tu a'r gorllewin *y bydd* pum cant a phedair mil, *a'u* tri phorth; porth Gad yn un, porth Aser yn un, *a* phorth Naphtali yn un.

35 Deunaw mil *o fesurau oedd* hi o amgylch: [f] ac enw'r ddinas o'r dydd hwnnw *allan fydd*, ‡ Yr ARGLWYDD *sydd* yno.

[f] Jer. 33. 16.
‡ *Jehofah Sammah.* Edrych Exod. 17. 15. Barn. 6. 24.

# ¶ LLYFR DANIEL.

## PEN. I.

Awst 19. 1.

1 *Caethiwed Jehoiacim.* 3 *Aspenaz yn cymmeryd Daniel, Hananïah, Misaël, ac Azarïah, i'w dysgu yngwybodaeth y Caldeaid:* 8 *a hwythau yn gwrthod rhan o fwyd y brenhin, ac wrth fwytta ffa, ac yfed dwfr, yn myned yn dda arnynt.* 17 *Eu godidog ddoethineb hwy.*

Cyn Crist 607.

YN y drydedd flwyddyn o deyrnasiad Jehoiacim brenhin Judah, [a] y daeth Nebuchodonosor brenhin Babilon i Jerusalem, ac a warchaeodd arni.

[a] 2 Bren. 24. 1. 2 Chron. 36. 6.

606.

2 A'r ARGLWYDD a roddes i'w law ef Jehoiacim brenhin Judah, a rhan o lestri tŷ DDUW; yntau a'u dug hwynt i wlad Sinar, i dŷ ei dduw ef; ac i drysordy ei dduw y dug efe'r llestri.

3 ¶ A dywedodd y brenhin wrth Aspenaz ei ben-ystafellydd, am ddwyn o feibion Israel, ac o'r had brenhinol, ac o'r tywysogion,

Rhagfynegwyd 2 Bren. 20. 17, 18.

4 Llangciau y rhai ni byddai ynddynt ddim gwrthuni, eithr yn dda yr olwg, a deallgar ym mhob doethineb, ac yn gwybod gwybodaeth, ac yn deall cyfarwyddyd, a'r rhai *y byddai* grym ynddynt i sefyll yn llys y brenhin, [b] i'w dysgu *ar* lyfr ac *yn* iaith y Caldeaid.

[b] Act. 7. 22.

5 A'r brenhin a ddognodd iddynt ran beunydd o fwyd y brenhin, † ac o'r gwin a yfai efe; felly i'w maethu hwynt dair blynedd, fel [c] y safent ar ol hynny ger bron y brenhin.

† Heb. *ac o win ei ddiod ef.*
[c] Adn. 19.

6 Ac yr ydoedd yn eu plith hwynt o feibion Judah, Daniel, Hananïah, Misaël, ac Azarïah:

d Pen. 5. 12. 7 d A'r pen-ystafellydd a osododd arnynt
enwau: canys ar Ddaniel y gosododd efe
e Pen. 4. 8. e Beltesassar; ac ar Hananiah, Sadrach; ac
ar Misaël, Mesach; ac ar Azariah, Abed-
nego.
f Hos. 9. 3. 8 ¶ A Daniel a roddes ei fryd, f nad ym-
halogai efe trwy ran o fwyd y brenhin, na
thrwy'r gwin a yfai efe: am hynny efe a
ddymunodd ar y pen-ystafellydd, na byddai
raid iddo ymhalogi.
g Edrych Gen. 39. 21. Psal. 106. 46. Diar. 16. 7. 9 A g Duw a roddes Ddaniel mewn ffafr
a thiriondeb gyd â'r pen-ystafellydd.
10 A'r pen-ystafellydd a ddywedodd wrth
Ddaniel, Ofni yr ydwyf fi fy arglwydd y
brenhin, yr hwn a osododd eich bwyd chwi
a'ch diod chwi: o herwydd, pa ham y
† Neu, *waeth.* Heb. *dristach.* gwelai efe eich wynebau yn † gulach nâ'r
bechgyn *sydd* ‡ fel chwithau? felly y parech
fy mhen yn ddyledus i'r brenhin.
‡ Neu, *o'ch dull,* neu, *o'ch amser chwi?* 11 Yna y dywedodd Daniel wrth § Mel-
sar, yr hwn a osodasai'r pen-ystafellydd ar
Ddaniel, Hananiah, Misaël, ac Azariah,
§ Neu, *y goruchwyliwr.* 12 Prawf, attolwg, dy weision ddeg diwr-
nod, a rhoddant i ni || ffa † i'w bwytta, a
dwfr i'w yfed.
|| Heb. *o ffa.* 13 Yna edrycher ger dy fron di ein gwedd
ni, a gwedd y bechgyn sydd yn bwytta rhan
† Heb. *a ni a fwyttawn.* o fwyd y brenhin: ac fel y gwelych, gwna
â'th weision.
14 Ac efe a wrandawodd arnynt yn y
peth hyn, ac a'u profodd hwynt ddeg o
ddyddiau.
15 Ac ym mhen y deng niwrnod y gwelid
eu gwedd hwynt yn deccach, ac yn dewach
o gnawd, nâ'r holl fechgyn oedd yn bwytta
rhan o fwyd y brenhin.
16 Felly Melsar a gymmerodd ymaith ran
eu bwyd hwynt, a'r gwin a yfent; ac a rod-
des iddynt ffa.
h Act. 7. 22. 17 ¶ A'r bechgyn hynny ill pedwar, Duw
a roddes iddynt h wybodaeth a deall ym
i Num. 12. 6. mhob dysg a doethineb: a Daniel i ‡ a hy-
2 Chron. 26. 5. fforddiodd efe ym mhob gweledigaeth a
Pen. 10. 1. breuddwydion.
‡ Neu, *oedd ddeallus.* 18 Ac ym mhen y dyddiau y dywedasai'r
brenhin am eu dwyn hwynt i mewn, yna y
pen-ystafellydd a'u dug hwynt ger bron
Nebuchodonosor.
603. 19 A'r brenhin a chwedleuodd â hwynt;
ac ni chafwyd o honynt oll *un* fel Daniel,
Hananiah, Misaël, ac Azariah: am hynny
k Gen. 41. 46. k y safasant hwy ger bron y brenhin.
20 Ac ym mhob rhyw § ddoethineb *a*
§ Heb. *ddoethineb deall.* deall a'r a ofynai'r brenhin iddynt, efe a'u
cafodd hwynt yn ddeg gwell nâ'r holl ddew-
iniaid *a'r* astronomyddion *oedd* o fewn ei
holl frenhiniaeth ef.
l Pen. 6. 28. a 10. 1. 21 A bu Daniel hyd y flwyddyn gyntaf
i'r brenhin l Cyrus.

## PEN. II.

Awst 20. E. 1 *Nebuchodonosor yn anghofio ei freuddwyd, a thrwy addewidion a bygythion yn ceisio gan y Caldeaid ei ddangos iddo: 10 hwythau yn cydnabod na's gallent, ac yn cael barn marwolaeth. 14 Daniel, wedi cael peth yspaid, yn cael allan y breuddwyd; 19 yn bendithio Duw; 24 yn attal y farn, ac yn dyfod ger bron y brenhin. 31 Y breuddwyd, 36 a'i ddeongliad; 46 a chyfodiad Daniel.*

603. AC yn yr ail flwyddyn o deyrnasiad Ne-
buchodonosor, y breuddwydiodd Nebu-
chodonosor freuddwydion, a thrallodwyd ei
yspryd ef, a'i gwsg a dorrodd oddi wrtho.
2 A'r brenhin a archodd alw am y dewin-
iaid, ac am yr astronomyddion, ac am yr
hudolion, ac am y Caldeaid, i fynegi i'r bren-
hin ei freuddwydion: a hwy a ddaethant ac
a safasant ger bron y brenhin.
3 A'r brenhin a ddywedodd wrthynt,
Breuddwydiais freuddwyd, a thrallodwyd fy
yspryd am wybod y breuddwyd.
4 Yna y Caldeaid a lefarasant wrth y
brenhin yn Syriaeg, a O frenhin, bydd fyw a 1 Bren. 1. 31.
yn dragywydd: adrodd dy freuddwyd i'th Pen. 3. 9.
weision, a mynegwn y deongliad. a 6. 6, 21.
5 Attebodd y brenhin a dywedodd wrth
y Caldeaid, Aeth y peth oddi wrthyf: oni
fynegwch y breuddwyd im', a'i ddeongliad,
b gwneir chwi yn ddrylliau, a'ch c tai a oso- b Pen. 3. 29.
dir yn dommen.
6 Ond os y breuddwyd a'i ddeongliad a c Esra 6. 11.
ddangoswch, cewch roddion, a gwobrau, ac
anrhydedd mawr o'm blaen i: am hynny
dangoswch y breuddwyd, a'i ddeongliad.
7 Attebasant eilwaith a dywedasant, Dy-
weded y brenhin y breuddwyd i'w weision,
ac ni a ddangoswn ei ddeongliad ef.
8 Attebodd y brenhin a dywedodd, Mi a
wn yn hyspys mai † oedi'r amser yr ydych † Cald. *prynu.*
chwi; canys gwelwch fyned y peth oddi
wrthyf.
9 Ond oni wnewch im' wybod y breu-
ddwyd, d un gyfraith *sydd* i chwi: canys d Esth. 4. 11.
gair celwyddog a llygredig a ddarparasoch
ei ddywedyd o'm blaen, nes newid yr am-
ser: am hynny dywedwch im' y breuddwyd,
a mi a gaf wybod y medrwch ddangos i mi
ei ddeongliad ef.
10 ¶ Y Caldeaid a attebasant o flaen y
brenhin, ac a ddywedasant, Nid oes dyn ar
y ddaear a ddichon ddangos yr hyn y mae'r
brenhin yn ei ofyn: ac ni cheisiodd un
brenhin, na phennaeth, na llywydd, y fath
beth a hwn gan un dewin, nac astrono-
mydd, na Chaldead.
11 Canys dieithr *yw'r* peth a gais y bren-
hin, ac nid oes *neb* arall a fedr ei ddangos o
flaen y brenhin, ond y duwiau, y rhai nid
yw eu trigfa gyd â chnawd.
12 O achos hyn y digiodd y brenhin ac y
creulonodd yn ddirfawr, ac a orchymynodd
ddifetha holl doethion Babilon.
13 Yna'r aeth y gyfraith allan am ladd
y doethion; ceisiasant hefyd Ddaniel a'i
gyfeillion i'w lladd.
14 ¶ Yna ‡ yr attebodd Daniel trwy ‡ Cald. *y trodd.*
gyngor a doethineb i Arioch, § pen-distain
y brenhin, yr hwn a aethai allan i ladd do- § Neu, *tywysog y filwriaeth*
ethion Babilon:
15 Efe a lefarodd ac a ddywedodd wrth Cald. *pen-lleiddiad.*
Arioch, distain y brenhin, Pa ham *y mae'r*
gyfraith yn myned ar *y fath* frys oddi wrth Gen. 37. 36.
y brenhin? Yna Arioch a fynegodd y peth
i Ddaniel.
16 Yna Daniel a aeth i mewn, ac a ym-
biliodd â'r brenhin am roddi iddo amser, ac
y dangosai efe'r deongliad i'r brenhin.
17 Yna'r aeth Daniel i'w dŷ, ac a fyneg-
odd y peth i'w gyfeillion, Hananiah, Misaël,
ac Azariah:
18 Fel y ceisient drugareddau || gan || Cald. *o flaen Duw,* neu, *oddi ger bron Duw.*
Dduw y nefoedd yn achos y dirgelwch
hyn; fel na ddifethid Daniel a'i gyfeillion
gyd â'r rhan arall o ddoethion Babilon.
19 ¶ Yna y datguddiwyd y dirgelwch i
Ddaniel mewn gweledigaeth nos: yna Da-
niel a fendithiodd Dduw'r nefoedd.
20 Attebodd Daniel a dywedodd, e Ben- e Psal. 113. 2. a 115. 18.
digedig fyddo enw Duw o dragywyddoldeb
hyd dragywyddoldeb: canys doethineb a
nerth ydynt eiddo ef.

21 Ac efe sydd yn newid amserau, a
f Job 12. 18. thymhorau: f efe sydd yn symmud bren-
hinoedd, ac yn gosod brenhinoedd: efe
sydd yn rhoddi doethineb i'r doethion, a
gwybodaeth i'r rhai a fedrant ddeall.
g Job 12. 22. 22 g Efe sydd yn datguddio y *pethau*
dyfnion a chuddiedig: efe a ŵyr beth *sydd*
yn y tywyllwch, a chyd ag ef y mae'r go-
leuni 'n trigo.
23 Tydi Dduw fy nhadau yr ydwyf fi yn
diolch iddo, ac yn ei foliannu, o herwydd
rhoddi o honot ddoethineb a nerth i mi, a
pheri i mi wybod yn awr yr hyn a geisiasom
† Cald. *ymadrodd,* neu, *fatter y brenhin.* gennyt: canys gwnaethost i ni wybod † yr
hyn a ofynodd y brenhin.
24 ¶ O herwydd hyn yr aeth Daniel at
Arioch, yr hwn a osodasai'r brenhin i ddi-
fetha doethion Babilon: efe a aeth, ac a
ddywedodd wrtho fel hyn; Na ddifetha
ddoethion Babilon; dwg fi o flaen y bren-
hin, a mi a ddangosaf i'r brenhin y de-
ongliad.
25 Yna y dug Arioch Ddaniel o flaen y
brenhin ar frys, ac a ddywedodd wrtho fel
‡ Cald. *Gael o honof wr.* hyn; ‡ Cefais wr o blant caethiwed Judah,
yr hwn a fynega i'r brenhin y deongliad.
26 Attebodd y brenhin, a dywedodd wrth
Ddaniel (yr hwn *yr oedd* ei enw Beltesassar)
A elli di fynegi i mi y breuddwyd a welais,
a'i ddeongliad?
27 Attebodd Daniel o flaen y brenhin,
a dywedodd, Ni all doethion, astrono-
myddion, dewiniaid, *na* brudwŷr, ddangos
i'r brenhin y dirgelwch y mae'r brenhin
yn ei ofyn:
28 Ond y mae Duw yn y nefoedd yn
datguddio dirgeledigaethau, ac a fynegodd
i'r brenhin Nebuchodonosor beth a fydd yn
y dyddiau diweddaf. Dy freuddwyd a gwe-
ledigaethau dy ben yn dy wely *ydoedd* hyn
yma:
29 Ti frenhin, dy feddyliau a godasant
*yn dy ben* ar dy wely, beth *oedd* i ddyfod ar
ol hyn; a'r hwn sydd yn datguddio dirgel-
edigaethau, a fynegodd i ti beth a fydd.
h Felly Gen. 41. 16. Act. 3. 12. 30 h Minnau hefyd, nid o herwydd y
doethineb sydd ynof fi yn fwy nâ neb byw,
y datguddiwyd im' y dirgelwch hwn: ond
o'u hachos *hwynt* y rhai a fynegant y de-
ongliad i'r brenhin, ac fel y gwybyddit
feddyliau dy galon.
31 ¶ Ti frenhin oeddit yn gweled, ac
wele ryw ddelw fawr: y ddelw fawr hon,
*yr oedd* ei disgleirdeb yn rhagorol, oedd yn
sefyll gyferbyn a thi; a'r olwg arni *ydoedd*
ofnadwy.
i Pen. 7. 3. 32 i Pen y ddelw hon *ydoedd* o aur da,
ei dwyfron a'i breichiau o arian, ei bol a'i
§ Neu, *hystlysau.* § morddwydydd o bres,
33 Ei choesau o haiarn, ei thraed *oedd*
*beth* o honynt o haiarn, a *pheth* o honynt o
bridd.
34 Edrych yr oeddit hyd oni thorrwyd
|| Neu, *nid oedd mewn dwylaw;* fel adn. 45. allan garreg, || nid trwy waith dwylaw, a
hi a darawodd y ddelw ar ei thraed o hai-
arn a phridd, ac a'u maluriodd hwynt.
35 Yna 'r haiarn, y pridd, y pres, yr
arian, a'r aur, a gyd-faluriasant, ac oeddynt
k Hos. 13. 3. k fel mân us yn *dyfod* o'r lloriau-dyrnu
haf; a'r gwŷnt a'u dug hwynt ymaith, ac
ni chaed lle iddynt; a'r garreg yr hon a da-
l Ezra 7. 12. rawodd y ddelw a aeth yn fynydd mawr,
ac a lanwodd yr holl ddaear.
Jer. 27. 6, 7. 36 ¶ Dyma 'r breuddwyd: dywedwn he-
Ezec. 26. 7. fyd ei ddeongliad o flaen y brenhin.
Hos. 8. 10. 37 l Ti frenhin *wyt* frenhin brenhinoedd:
canys Duw y nefoedd a roddodd i ti fren-
hiniaeth, gallu, a nerth, a gogoniant.
38 A pha le bynnag y preswylia plant
dynion, efe a roddes dan dy law fwystfilod
y maes, ac ehediaid y nefoedd, ac a'th osod-
odd di yn arglwydd arnynt oll: ti *yw* y pen
aur hwnnw.
39 Ac ar dy ol di y cyfyd brenhiniaeth
arall îs nâ thi, a thrydedd frenhiniaeth
arall o bres, yr hon a lywodraetha ar yr
holl ddaear.
40 Bydd hefyd y bedwaredd frenhiniaeth
yn gref fel haiarn: canys yr haiarn a
ddryllia, ac a ddofa bob *peth:* ac fel haiarn
yr hwn a ddryllia bob peth, y maluria ac y
dryllia hi.
41 A lle y gwelaist y traed a'r bysedd
peth o honynt o bridd crochenydd, a *pheth*
o honynt o haiarn, brenhiniaeth ranedig
fydd; a bydd ynddi *beth* o gryfder haiarn,
o herwydd gweled o honot haiarn wedi ei
gymmysgu â phridd cleilyd.
42 Ac *fel yr ydoedd* bysedd y traed peth o
haiarn, a pheth o bridd; *felly* y bydd y fren-
hiniaeth, o ran yn gref, ac o ran yn frau.
43 A lle y gwelaist haiarn wedi ei gym-
mysgu â phridd cleilyd, ymgymmysgant â
had dyn; ond ni lynant y naill wrth y
llall, megis nad ymgymmysga haiarn â
phridd.
44 Ac yn nyddiau y brenhinoedd hyn,
y cyfyd Duw y nefoedd m frenhiniaeth yr m Pen. 4.
hon ni ddistrywir byth: a'r frenhiniaeth ni 3, 34. a 6.
adewir i bobl eraill; *ond* hi a faluria, ac 26. a 7. 14, 27.
a dreulia'r holl frenhiniaethau hyn, a hi a Mich. 4. 7.
saif yn dragywydd. Luc 1. 33. Ioan 12. 34.
45 Lle y gwelaist dorri n carreg o'r my- n Esay 28.
nydd, yr hon ni *thorrwyd* â llaw, a ma- 16.
lurio o honi yr haiarn, y pres, y pridd, yr
arian, a'r aur; hyspysodd y Duw mawr
i'r brenhin beth a fydd wedi hyn: felly y
breuddwyd *sydd* wir, a'i ddeongliad yn
ffyddlon.
46 ¶ Yna y syrthiodd Nebuchodonosor
y brenhin ar ei wyneb, ac o a addolodd o Edrych
Ddaniel; gorchymynodd hefyd am off- Act. 10. 25.
rymmu iddo offrwm ac arogl-darth. a 14. 11, 13. a 28. 6.
47 Attebodd y brenhin a dywedodd wrth
Ddaniel, Mewn gwirionedd *y gwn* mai
eich Duw chwi *yw* Duw y duwiau, ac
Arglwydd y brenhinoedd, a datguddiydd
dirgeledigaethau, o herwydd medru o honot
ddatguddio'r dirgelwch hyn.
48 Yna'r brenhin a fawrygodd Ddaniel,
ac a roddes iddo roddion mawrion lawer;
ac efe a'i gwnaeth ef yn bennaeth ar holl
dalaith Babilon, ac p yn ben i'r swyddogion p Pen. 4.
ar holl ddoethion Babilon. 9.
49 Yna Daniel a ymbiliodd â'r brenhin,
ac yntau a osododd Sadrach, Mesach, ac
Abednego ar lywodraeth talaith Babilon:
ond Daniel *a eisteddodd* ym mhorth y bren-
hin.

## PEN. III.

1 *Nebuchodonosor yn cyssegru delw fawr yn* Awst 20.
*Dura.* 8 *Achwyn ar Sadrach, Mesach, ac* P.
*Abednego, am nad addolent y ddelw;* 13 *a* Sul 10 ar ol y Drindod, B.
*chwedi eu bygwth, yn gwneuthur cyffes*
*ddaionus.* 19 *Duw yn eu gwared hwy allan*
*o'r ffwrn dân.* 26 *Nebuchodonosor, wrth*
*weled y rhyfeddod, yn bendithio Duw.*

NEBUCHODONOSOR y brenhin a 580.
wnaeth ddelw aur, ei uchder *oedd* yn
dri ugain cufydd, ei lled yn chwe chufydd;
ac efe a'i gosododd hi i fynu yngwastadedd
Dura, o fewn talaith Babilon.

2 Yna Nebuchodonosor y brenhin a anfon-
odd i gasglu ynghŷd y tywysogion, dug-
iaid, a phendefigion, y rhaglawiaid, y try-
sorwŷr, y cyfreithwŷr, y trethwyr, a holl
lywodraethwŷr y taleithiau, i ddyfod wrth
gyssegru'r ddelw a gyfodasai Nebuchodo-
nosor y brenhin.
3 Yna y tywysogion, dugiaid, a phen-
defigion, rhaglawiaid, y trysorwŷr, y cyf-
reithwŷr, y trethwŷr, a holl lywodraethwŷr
y taleithiau, a ymgasglasant ynghŷd wrth
gyssegru'r ddelw a gyfodasai Nebuchodono-
sor y brenhin: a hwy a safasant o flaen y
ddelw a gyfodasai Nebuchodonosor.
4 A chyhoeddwr a lefodd † yn groch,
Wrthych chwi, bobloedd, genhedloedd, a
ieithioedd, ‡ y dywedir,
5 Pan glywoch swn y cornet, y chwiban-
ogl, y delyn, y dulsimer, § y psaltring, y
symphon, a phob rhyw gerdd, y syrthiwch
ac yr addolwch y ddelw aur a gyfododd
Nebuchodonosor y brenhin.
6 A'r hwn ni syrthio ac ni addolo, yr awr
honno a fwrir i ganol ffwrn o dân poeth.
7 Am hynny'r amser hwnnw pan glyw-
odd yr holl bobloedd sain y cornet, y chwi-
banogl, y delyn, y dulsimer, y psaltring, a
phob rhyw gerdd, y bobloedd, y cenhedl-
oedd, a'r ieithioedd oll, a syrthiasant *ac* a
addolasant y ddelw aur a gyfodasai Nebu-
chodonosor y brenhin.
8 ¶ O ran hynny yr amser hwnnw y
daeth gwŷr o Caldea, ac a gyhuddasant yr
Iuddewon.
9 Adroddasant a dywedasant wrth Ne-
buchodonosor y brenhin, [a] Bydd fyw, fren-
hin, yn dragywydd.
10 Ti, frenhin, a osodaist orchymyn, ar
i bwy bynnag a glywai sain y cornet, y
chwibanogl, y delyn, y dulsimer, y psaltring,
a'r symphon, a phob rhyw gerdd, syrthio ac
ymgrymmu i'r ddelw aur:
11 A phwy bynnag ni syrthiai ac *nid*
ymgrymmai, y teflid ef i ganol ffwrn o dân
poeth.
12 Y mae gwŷr o Iuddewon a osodaist ti
ar oruchwyliaeth talaith Babilon, Sadrach,
Mesach, ac Abednego; y gwŷr hyn, O fren-
hin, ni ‖ wnaethant gyfrif o honot ti; dy
dduwiau nid addolant, ac nid ymgrymmant
i'r ddelw aur a gyfodaist.
13 ¶ Yna Nebuchodonosor mewn llid-
iowgrwydd a digter a ddywedodd am gyr-
chu Sadrach, Mesach, ac Abednego. Yna y
dygpwyd y gwŷr hyn o flaen y brenhin.
14 Adroddodd Nebuchodonosor a dywed-
odd wrthynt, † Ai gwir *hyn*, Sadrach, Me-
sach, ac Abednego? oni addolwch chwi fy
nuwiau i, ac oni ymgrymmwch i'r ddelw
aur a gyfodais i?
15 Yr awr hon *wele*, os byddwch chwi
barod pan glywoch sain y cornet, y chwi-
banogl, y delyn, y dulsimer, y psaltring, a'r
symphon, a phob rhyw gerdd, i syrthio ac i
ymgrymmu i'r ddelw a wneuthum, *da:* ac
onid ymgrymmwch, yr awr honno y bwrir
chwi i ganol ffwrn o dân poeth; a pha DDUW
*yw* efe a'ch gwared chwi o'm dwylaw i?
16 Sadrach, Mesach, ac Abednego a atteb-
asant ac a ddywedasant wrth y brenhin,
Nebuchodonosor, [b] nid *ydym* ni yn gofalu
am atteb it' yn y peth hyn.
17 Wele, y mae ein DUW ni, yr hwn yr
ydym ni yn ei addoli, yn abl i'n gwared ni
allan o'r ffwrn danllyd boeth: ac efe a'*n*
gwared *ni* o'th law di, O frenhin.

† Cald. *a nerth.*
‡ Cald. y maent *yn dywedyd.*
§ Neu, *y canu.*
[a] Pen. 2. 4. a 5. 10. a 6. 6, 21.
‖ Cald. *osodasant fri arnat ti.*
† Neu, *Ai o'r gwaith gorddef y mae hyn,* fel Exod. 21. 14.
[b] Mat. 10. 19.

18 Ac onid ê, bydded hyspys it', frenhin,
na addolwn dy dduwiau, ac nad ymgrym-
mwn i'th ddelw aur a gyfodaist.
19 ¶ Yna y llanwyd Nebuchodonosor o
lidiowgrwydd, a gwedd ei wyneb ef a
newidiodd yn erbyn Sadrach, Mesach, ac
Abednego; *am hynny y* llefarodd ac y dy-
wedodd am dwymno'r ffwrn seithwaith
mwy nag y byddid arfer o'i thwymno hi.
20 Ac efe a ddywedodd wrth wŷr cryf-
ion ‡ nerthol, y rhai *oedd* yn ei lu ef, am
rwymo Sadrach, Mesach, ac Abednego, i'w
bwrw i'r ffwrn o dân poeth.
21 Yna y rhwymwyd y gwŷr hynny yn
eu § peisiau, eu llodrau, a'u cwccyllau, a'u
dillad *eraill*, ac a'u bwriwyd i ganol y ffwrn
o dân poeth.
22 Gan hynny o achos *bod* ‖ gorchymyn
y brenhin yn gaeth, a'r ffwrn yn boeth
ragorol, † fflam y tân a laddodd y gwŷr
hynny a fwriasant i fynu Sadrach, Mesach,
ac Abednego.
23 A'r tri wŷr hyn, Sadrach, Mesach, ac
Abednego, a syrthiasant ynghanol y ffwrn
o dân poeth yn rhwym.
24 Yna y synnodd ar Nebuchodonosor y
brenhin, ac y cyfododd ar frys, attebodd
*hefyd* a dywedodd wrth ei ‡ gynghor-
iaid, Onid tri wŷr a fwriasom ni i ganol y
tân yn rhwym? Hwy a attebasant ac a
ddywedasant wrth y brenhin, Gwir, O
frenhin.
25 Attebodd a dywedodd yntau, Wele
fi yn gweled pedwar gwŷr rhyddion yn
rhodio ynghanol y tân, ac nid oes niweid
arnynt; a dull y pedwerydd sydd debyg i
Fab DUW.
26 ¶ Yna y nesaodd Nebuchodonosor at
§ enau'r ffwrn o dân poeth, *ac* a lefarodd
ac a ddywedodd, O Sadrach, Mesach, ac
Abednego, gwasanaethwŷr y DUW gor-
uchaf, deuwch allan, a deuwch *yma*. Yna
Sadrach, Mesach, ac Abednego a ddaethant
allan o ganol y tân.
27 A'r tywysogion, dugiaid, a phende-
figion, a chynghoriaid y brenhin, a ym-
gasglasant ynghŷd, ac a welsant y gwŷr
hyn, y rhai ni finiasai'r tân ar eu cyrph,
ac ni ddeifiasai flewyn o'u pen, ni newid-
iasai eu peisiau chwaith, ac nid aethai sawr
y tân arnynt.
28 Attebodd Nebuchodonosor a dywed-
odd, Bendigedig *yw* DUW Sadrach, Mesach,
ac Abednego, yr hwn a anfonodd ei angel,
ac a waredodd ei weision a ymddiriedasant
ynddo, ac a ‖ dorrasant orchymyn y bren-
hin, ac a roddasant eu cyrph, rhag gwa-
sanaethu nac ymgrymmu o honynt i un
duw, ond i'w DUW eu hun.
29 Am hynny y gosodir gorchymyn gen-
nyf fi, Pob pobl, cenedl, a iaith, yr hon
a ddywedo † ddim ar fai yn erbyn DUW
Sadrach, Mesach, ac Abednego, [c] a wneir
yn ddrylliau, a'u tai a wneir yn dommen:
o herwydd nad oes duw arall a ddichon
wared fel hyn.
30 Yna y ‡ mawrhaodd y brenhin Sa-
drach, Mesach, ac Abednego, o fewn talaith
Babilon.

‡ Cald. *o nerth.*
§ Neu, *mentyll.*
‖ Cald. *saer.*
† Neu, *gwreichion.*
‡ Neu, *llywodraethwŷr.*
§ Cald. *ddrws.*
‖ Cald. *newidiasant air.*
† Cald. *amryfusedd.*
[c] Pen. 2. 5.
‡ Cald. *llwyddodd.*

PEN. IV.

1 *Nebuchodonosor yn cyffaddef brenhiniaeth Dduw;* 4 *yn adrodd ei freuddwydion, a'r dewiniaid heb fedru mo'u deongl.* 8 *Daniel yn gwrando'r breuddwyd,* 19 *ac yn ei ddeongl.* 28 *Histori o'r hyn a ddigwyddodd.* Awst 21. B.

570. NEBUCHODONOSOR frenhin at yr
holl bobloedd, cenhedloedd, a ieithi-
oedd, y rhai a drigant yn yr holl ddaear;
Aml fyddo heddwch i chwi.
† Caln. *Gweddus oedd o'm blaen i.* 2 † Mi a welais yn dda fynegi 'r ar-
wyddion a'r rhyfeddodau a wnaeth y gor-
uchaf DDUW â mi.
3 Mor fawr *yw* ei arwyddion ef! ac
[a] Pen. 2. 44. Adn. 34. mor gedyrn *yw* ei ryfeddodau! [a] ei deyrnas
ef *sydd* deyrnas dragywyddol, a'i lyw-
odraeth ef *sydd* o genhedlaeth i genhedl-
aeth.
4 ¶ Myfi Nebuchodonosor oeddwn es-
mwyth arnaf yn fy nhŷ, ac yn hoyw yn fy
llys.
5 Gwelais freuddwyd yr *hwn* a'm hofn-
odd, meddyliau hefyd yn fy ngwely a
gweledigaethau fy mhen a'm dychryn-
asant.
6 Am hynny y gosodwyd gorchymyn
gennyf fi, ar ddwyn ger fy mron holl
ddoethion Babilon, fel yr hyspysent i mi
ddeongliad y breuddwyd.
7 Yna y dewiniaid, yr astronomyddion,
y Caldeaid, a'r brudwyr, a ddaethant: a
mi a ddywedais y breuddwyd o'u blaen
hwynt; ond ei ddeongliad nid hyspysasant
i mi.
8 ¶ Ond o'r diwedd daeth Daniel o'm
[b] Pen. 1. 7. blaen i ([b] yr hwn *yw* ei enw Beltesassar, yn
ol enw fy nuw i, yr hwn hefyd *y mae*
yspryd y duwiau sanctaidd ynddo) a'm
breuddwyd a draethais o'i flaen ef, *gan*
*ddywedyd,*
[c] Pen. 2. 48. a 5. 11. 9 Beltesassar, [c] pennaeth y dewiniaid, o
herwydd im' wybod *fod* yspryd y duw-
iau sanctaidd ynot ti, ac nad oes un dir-
gelwch yn anhawdd i ti, dywed weledig-
aethau fy mreuddwyd yr hwn a welais, a'i
ddeongliad.
10 A *dyma* weledigaethau fy mhen ar
fy ngwely; Edrych yr oeddwn, ac wele
[d] Ezec. 31. 3. [d] bren ynghanol y ddaear, a'i uchder yn
fawr.
‡ Neu, *Tyfodd y pren a chryfhaodd.* 11 ‡ Mawr oedd y pren a chadarn, a'i
uchder a gyrhaeddai hyd y nefoedd; *yr*
*ydoedd* hefyd i'w weled hyd yn eithaf yr
holl ddaear.
12 Ei ganghennau *oedd* dêg, a'i ffrwyth
[e] Ezec. 31. 6. yn aml, ac ymborth arno i bob *peth*: [e] dano
yr ymgysgodai bwystfilod y maes, ac adar
y nefoedd a drigent yn ei ganghennau ef, a
phob cnawd a fwyttaei o hono.
13 Edrych yr oeddwn yngweledigaethau
fy mhen ar fy ngwely, ac wele wyliedydd, a
[f] Pen. 8. 13. [f] sanct yn disgyn o'r nefoedd,
§ Cald. *a nerth.* 14 Yn llefain § yn groch, ac yn dy-
wedyd fel hyn, Torrwch y pren, ac ys-
gythrwch ei wrysg ef, ysgydwch ei ddail
ef, a gwasgerwch ei ffrwyth: cilied y
bwystfil oddi tano, a'r adar o'i ganghen-
nau.
15 Er hynny gadêwch foncyff ei wraidd
ef yn y ddaear, mewn rhwym o haiarn a
phres, ym mhlith gwellt y maes; gwlycher
ef hefyd â gwlith y nefoedd, a *bydded*
ei ran gyd â'r bwystfilod yngwellt y
ddaear.
16 Newidier ei galon ef o *fod yn galon*
dyn, a rhodder iddo galon bwystfil: a chyf-
newidier saith amser arno.
17 O ordinhâd y gwyliedyddion *y mae* y
peth hyn, a'r dymuniad wrth ymadrodd
y rhai sanctaidd: fel y gwypo y rhai byw
mai y Goruchaf a lywodraetha ym mre-
nhiniaeth dynion, ac a'i rhydd i'r neb
y mynno efe, ac a osyd arni 'r gwaelaf o
ddynion.
18 Dyma 'r breuddwyd a welais i Nebu-
chodonosor y brenhin. Tithau, Beltesassar,
dywed ei ddeongliad ef, o herwydd na's
gall holl ddoethion fy nheyrnas hyspysu y
deongliad i mi: eithr ti a elli; am *fod*
yspryd y duwiau sanctaidd ynot ti.
19 ¶ Yna Daniel, yr hwn *ydoedd* ei enw
Beltesassar, a synnodd dros un awr, a'i fed-
dyliau a'i dychrynasant ef. Attebodd y
brenhin, a dywedodd, Beltesassar, na ddy-
chryned y breuddwyd ti, na'i ddeongliad.
Attebodd Beltesassar, a dywedodd, Fy ar-
glwydd, [g] *deued* y breuddwyd i'th gaseion, [g] Edrych Jer. 29. 7.
a'i ddeongliad i'th elynion.
20 Y pren a welaist, yr hwn a dyfasai,
ac a gryfhasai, ac a gyrhaeddasai ei uchder
hyd y nefoedd, ac *oedd* i'w weled ar hŷd yr
holl ddaear;
21 A'i ddail yn dêg, a'i ffrwyth yn aml,
ac ymborth i bob *peth* ynddo; tan yr hwn y
trigai bwystfilod y maes, ac y preswyliai
adar y nefoedd yn ei ganghennau:
22 Ti, frenhin, *yw* efe; tydi a dyfaist, ac
a gryfheaist: canys dy fawredd a gynnydd-
odd, ac a gyrhaeddodd hyd y nefoedd,
a'th lywodraeth hyd eithaf y ddaear.
23 A lle y gwelodd y brenhin wyliedydd,
a sanct yn disgyn o'r nefoedd, ac yn dy-
wedyd, Torrwch y pren, a dinystriwch ef,
er hynny gadêwch foncyff ei wraidd ef yn
y ddaear, mewn rhwym o haiarn a phres,
ym mhlith gwellt y maes, a gwlycher ef â
gwlith y nefoedd, a *bydded* ei ran gyd â
bwystfil y maes, hyd oni gyfnewidio saith
amser arno ef.
24 Dyma 'r deongliad, O frenhin, a dyma
ordinhâd y Goruchaf, yr hwn sydd yn dy-
fod ar fy arglwydd frenhin.
25 Canys [h] gyrrant ti oddi wrth ddynion, [h] Pen. 5. 21, &c.
a chyd â bwystfil y maes y bydd dy drigfa,
â gwellt hefyd y'th borthant fel eidionau,
ac a'th wlychant â gwlith y nefoedd, a saith
amser a gyfnewidia arnat ti, hyd oni wy-
pech mai y Goruchaf sy'n llywodraethu ym
mrenhiniaeth dynion, ac [i] yn ei rhoddi i'r [i] Jer. 27. 5.
neb a fynno.
26 A lle y dywedasant am adael boncyff
gwraidd y pren; dy frenhiniaeth fydd sicr
it' wedi i ti wybod [k] mai'r nefoedd sy'n [k] Mat. 21. 25.
llywodraethu.
27 Am hynny, frenhin, bydded foddlon Luc 15. 18, 21.
gennyt fy nghyngor, a thorr ymaith dy
bechodau trwy gyfiawnder, a'th anwireddau
trwy drugarhâu wrth drueiniaid, i *edrych* a
fydd ‖ estyniad ar dy heddwch. ‖ Neu, *iachâd i'th amryfusedd.*
28 ¶ Daeth *hyn* oll ar Nebuchodonosor y
brenhin.
29 Ym mhen deuddeng mis yr oedd efe 569.
yn rhodio † yn llys brenhiniaeth Babilon. † Neu, *ar lys.*
30 Llefarodd y brenhin, a dywedodd,
Onid hon yw Babilon fawr, yr hon a adeil-
edais i yn frenhindy yngrhyfder fy nerth,
ac er gogoniant fy mawrhydi?
31 A'r gair etto yngenau 'r brenhin, syrth-
iodd llef o'r nefoedd, *yn dywedyd,* Wrthyt
ti, frenhin Nebuchodonosor, y dywedir,
Aeth y frenhiniaeth oddi wrthyt.
32 A [l] thi a yrrir oddi wrth ddynion, a'th [l] Adn. 25.
drigfa *fydd* gyd â bwystfilod y maes; â
gwellt y'th borthant fel eidionau; a chyf-
newidir saith amser arnat; hyd oni wypech
mai'r Goruchaf sydd yn llywodraethu ym
mrenhiniaeth dynion, ac yn ei rhoddi i'r
neb y mynno.

33 Yr awr honno y cyflawnwyd y gair ar
Nebuchodonosor, ac y gyrrwyd ef oddi wrth
ddynion, ac y porodd wellt fel eidionau, ac
y gwlychwyd ei gorph ef gan wlith y nef-
oedd, hyd oni thyfodd ei flew ef fel *plu* ery-
rod, a'i ewinedd fel *ewinedd* adar.
563. 34 Ac yn niwedd y dyddiau, myfi Nebu-
chodonosor a ddyrchefais fy llygaid tu a'r
nefoedd, a'm gwybodaeth a ddychwelodd
attaf, a bendithiais y Goruchaf, a molien-
nais a gogoneddais yr hwn sydd yn byw
m Psal. 10. 16. byth, am *fod* [m] ei lywodraeth ef yn llywo-
Pen. 2. 44. draeth dragywyddol, a'i frenhiniaeth hyd
a 7. 14. genhedlaeth a chenhedlaeth.
Mich. 4. 7. 35 [n] A holl drigolion y ddaear a gyfrifir
Luc 1. 33. megis yn ddiddym: ac yn ol ei ewyllys ei
n Esay 40. 15, 17. hun y mae yn gwneuthur â llu'r nefoedd, ac
*â* thrigolion y ddaear; ac nid oes a attalio
o Job 9. 12. ei law ef, neu a ddywedo wrtho, [o] Beth yr
Esay 45. 9. wyt yn ei wneuthur?
36 Yn yr amser hwnnw y dychwelodd fy
synwyr attaf fi, a *deuthum* i ogoniant fy
mrenhiniaeth, fy harddwch a'm hoywder
a ddychwelodd attaf fi, a'm cynghoriaid a'm
tywysogion a'm ceisiasant; felly y'm sicr-
hawyd yn fy nheyrnas, a 'chwanegwyd im'
fawredd rhagorol.
37 Yr awr hon myfi Nebuchodonosor
ydwyf yn moliannu, ac yn mawrygu, ac yn
gogoneddu Brenhin y nefoedd, yr hwn *y*
*mae* ei holl weithredoedd yn wirionedd, a'i
lwybrau yn farn, ac a ddichon ddarostwng y
rhai a rodiant mewn balchder.

## PEN. V.

Awst 21. P. 1 *Annuwiol wledd Belsassar. 5 Yr ysgrifen law, yr hon ni fedrai y dewiniaid mo'i darllen, yn blino'r brenhin. 10 Dwyn Daniel ger bron, ar air y frenhines: 17 yntau yn ceryddu'r brenhin am ei falchder a'i ddelw-addoliaeth; 25 ac yn darllen, ac yn dirnad yr ysgrifen. 30 Trosi'r llywodraeth at y Mediaid.*

538. BELSASSAR y brenhin a wnaeth wledd
fawr i fil o'i dywysogion, ac a yfodd win
yngwydd y mil.
2 Wrth flas y gwin y dywedodd Belsassar
am ddwyn y llestri aur ac arian, a ddygasai
Nebuchodonosor ei dad ef o'r deml yr hon
*oedd* yn Jerusalem, fel yr yfai'r brenhin a'i
dywysogion, ei wragedd a'i ordderchadon,
ynddynt.
3 Yna y dygwyd y llestri aur a ddygasid
o deml tŷ DUW, yr hwn *oedd* yn Jeru-
salem: a'r brenhin a'i dywysogion, ei
wragedd a'i ordderchadon, a yfasant yn-
ddynt.
4 Yfasant win, a moliannasant y duwiau
o aur ac o arian, o bres, o haiarn, o goed,
ac o faen.
5 ¶ Yr awr honno bysedd llaw dyn a
ddaethant allan, ac a 'sgrifenasant ar gyfer
† Cald. *disgleirdeb, neu, gloywder.* y canhwyllbren ar galchiad pared llys y
brenhin; a gwelodd y brenhin ddarn y llaw
a 'sgrifenodd.
6 Yna y newidiodd † lliw'r brenhin, a'i
‡ Neu, *gwregysau,* Esay 5. 27. feddyliau a'i cyffroisant ef, fel y dattododd
‡ rhwymau ei lwynau ef, ac y curodd ei
Cald. *cylymmau, neu, rhwymau.* liniau ef y naill wrth y llall.
7 Gwaeddodd y brenhin § yn groch am
ddwyn i mewn yr astronomyddion, y Cal-
deaid, a'r brudwŷr: a llefarodd y brenhin,
§ Cald. *â nerth.* a dywedodd wrth ddoethion Babilon, Pa
ddyn bynnag a ddarlleno'r ysgrifen hon,
|| Neu, *ag ysgarlad.* ac a ddangoso i mi ei deongliad, efe a
wisgir || â phorphor, ac *a gaiff* gadwyn
aur am ei wddf, a chaiff lywodraethu yn
drydydd yn y deyrnas.
8 Yna holl ddoethion y brenhin a ddaeth-
ant i mewn; ond ni fedrent ddarllen yr
ysgrifen, na mynegi i'r brenhin ei deongl-
iad.
9 Yna y mawr-gyffrôdd y brenhin Bel-
sassar, a'i † wedd a ymnewidiodd ynddo, a'i † Neu, *ddisgleirdeb, neu, loywder.*
dywysogion a synnasant.
10 ¶ Y frenhines, o herwydd geiriau'r
brenhin a'i dywysogion, a ddaeth i dŷ'r
wledd: *a* llefarodd y frenhines, a dywed-
odd, [a] Bydd fyw byth, frenhin; na chy- a Pen. 3. 9.
ffrôed dy feddyliau di, ac na newidied dy
wedd.
11 [b] Y mae gwr yn dy deyrnas [c] yr hwn b Pen. 2. 48.
*y mae* yspryd y duwiau sanctaidd ynddo,
ac yn nyddiau dy dad y caed ynddo ef c Pen. 4. 8, 9, 18.
oleuni, a deall, a doethineb fel doethineb
y duwiau: a'r brenhin Nebuchodonosor dy
‡ dad a'i gosododd ef [d] yn bennaeth y de- ‡ Neu, *daid.*
winiaid, astronomyddion, Caldeaid, *a* brud-
wŷr, *sef* y brenhin dy dad di. d Pen. 4. 9.
12 O herwydd cael yn y Daniel hwnnw, e Pen. 1. 7.
[e] yr hwn y rhoddes y brenhin iddo enw
Beltesassar, yspryd rhagorol, a gwybodaeth
a § deall, deongl breuddwydion, ac egluro § Neu, *deall deonglwr breuddwydion.*
damhegion, a || dattod cylymmau: galwer
Daniel yr awron, ac efe a ddengys y deongl-
iad.
13 Yna y dycpwyd Daniel o flaen y bren-
hin: *a* llefarodd y brenhin, a dywedodd || Neu, *dattodwr.*
wrth Ddaniel, Ai tydi *yw* Daniel, yr hwn
wyt o feibion caeth-glud Judah, y rhai a
ddug y brenhin † fy nhad i o Judah? † Neu, *fy nhaid.*
14 Myfi a glywais *son* am danat, *fod*
yspryd y duwiau ynot, a chael ynot ti
oleuni, a deall, a doethineb rhagorol.
15 Ac yr awr hon dygwyd y doethion,
yr astronomyddion o'm blaen, i ddarllen yr
ysgrifen hon, ac i fynegi im' ei deongliad:
ond ni fedrent ddangos deongliad y peth.
16 Ac mi a glywais am danat ti, y medri
ddeongl deongliadau, a dattod cylymmau;
yr awr hon os medri ddarllen yr ysgrifen, a
hyspysu i mi ei deongliad, tydi a wisgir
â phorphor, ac *a gei* gadwyn aur am dy
wddf, ac a gai lywodraethu yn drydydd yn
y deyrnas.
17 ¶ Yna yr attebodd Daniel, ac y dy-
wedodd o flaen y brenhin, Bydded dy rod-
dion i ti, a dod dy anrhegion i arall; er
hynny yr ysgrifen a ddarllenaf i'r brenhin,
a'r deongliad a hyspysaf iddo.
18 O frenhin, y DUW goruchaf a roddes f Pen. 4. 30.
i Nebuchodonosor dy dad di frenhiniaeth, ‡ Neu, *i wneuthur yn falch, neu, traha.*
a mawredd, a gogoniant, ac anrhydedd.
19 Ac o herwydd y mawredd a roddasai
efe iddo, y bobloedd, y cenhedloedd, a'r
ieithioedd oll, oedd yn crynu ac yn ofni § Cald. *gwnaed iddo ddisgyn.*
rhagddo ef: yr hwn a fynnai a laddai, a'r
hwn a fynnai a gadwai yn fyw; hefyd y
neb a fynnai a gyfodai, a'r neb a fynnai a g Pen. 4. 32, &c.
ostyngai.
20 Eithr [f] pan ymgododd ei galon ef, a || Neu, *gwnaeth ei galon yn ogystal â'r bwystfil.*
chaledu o'i yspryd ef ‡ mewn balchder,
§ efe a ddisgynwyd o orseddfa ei fren-
hiniaeth, a'i ogoniant a dynnasant oddi
wrtho. Cald. *gosodwyd ei galon at y bwystfil, neu, gyd â'r bwystfil.*
21 [g] Gyrrwyd ef hefyd oddi wrth feib-
ion dynion, a || gwnaethpwyd ei galon fel
bwystfil, a chyd â'r asynod gwylltion *yr*
*oedd* ei drigfa: â gwellt y porthasant ef
fel eidion, a'i gorph a wlychwyd gan wlith
y nefoedd, [h] hyd oni wybu mai'r DUW h Pen. 4. 17.
goruchaf oedd yn llywodraethu ym mre-

nhiniaeth dynion, ac yn gosod arni y neb a
fynno.
22 A thithau, Belsassar ei fab ef, ni ddar-
ostyngaist dy galon, er gwybod o honot hyn
oll;
23 Eithr ymddyrchefaist yn erbyn Ar-
glwydd y nefoedd, a llestri ei dŷ ef a ddyg-
asant ger dy fron di, a thithau a'th dywys-
ogion, dy wragedd a'th ordderchadon, a
yfasoch win ynddynt; a thi a foliennaist
dduwiau o arian ac o aur, o bres, haiarn,
pren, a maen, y rhai ni welant, ac ni chlyw-
ant, ac ni wyddant *ddim*: ac nid anrhydedd-
aist y Duw *y mae* dy anadl di yn ei law,
i Jer. 10. 23. i a'th holl ffyrdd yn eiddo.
24 Yna'r anfonwyd darn y llaw oddi ger
ei fron ef, ac yr ysgrifenwyd yr ysgrifen
hon.
25 ¶ A dyma'r ysgrifen a 'sgrifenwyd:
MENE, MENE, TECEL, UPHARSIN.
26 Dyma ddeongliad y peth: MENE;
Duw a rifodd dy frenhiniaeth, ac a'i gor-
phenodd.
k Psal. 62. 9. 27 TECEL; k Ti a bwyswyd yn y clor-
iannau, ac a'th gaed yn brin.
28 PERES; Rhannwyd dy frenhiniaeth,
l Rhag-ddywedwyd Esay 21. 2. Adn. 31. Pen. 9. 1. a rhoddwyd hi i'r l Mediaid a'r m Per-
siaid.
29 Yna y gorchymynodd Belsassar, a
hwy a wisgasant Ddaniel â phorphor, ac â
m Pen. 6. 28. chadwyn aur am ei wddf; *a* chyhoeddwyd
am dano, n y byddai efe yn drydydd yn
n Adn. 7. llywodraethu yn y frenhiniaeth.
o Pen. 9. 1. 30 ¶ Y noson honno y lladdwyd Belsassar
538. brenhin y Caldeaid.
† Cald. *yn fab dwy-flwydd, &c.* 31 o A Darïus y Mediad a gymmerodd y
frenhiniaeth, *ac efe* † yn ddwy flwydd a
thri ugain *oed*.

PEN. VI.

Awst 22. B. Sul 19 ar ol y Drindod, P. 1 *Gwneuthur Daniel yn ben ar y rhaglawiaid;
4 hwythau yn cyd-fwriadu yn ei erbyn ef,
ac yn cael gan y brenhin osod cyfraith an-
nuwiol: 10 achwyn ar Ddaniel am dorri 'r
gyfraith honno, a'i fwrw i ffau 'r llewod;
18 a Duw yn ei gadw ef: 24 y llewod yn
difa ei wrthwynebwŷr ef: 25 a gosod cyf-
raith i orchymyn moliannu Duw.*

538. GWELODD Darïus yn dda osod ar y
deyrnas chwe ugain o dywysogion, i
fod ar yr holl deyrnas;
2 Ac arnynt hwy *yr oedd* tri rhaglaw (y
rhai *yr oedd* Daniel yn bennaf o honynt) i'r
rhai y rhoddai'r tywysogion gyfrif, fel na
byddai'r brenhin mewn colled.
3 Yna y Daniel hwn oedd yn rhagori ar y
rhaglawiaid a'r tywysogion, o herwydd *bod*
yspryd rhagorol ynddo ef: a'r brenhin a
feddyliodd ei osod ef ar yr holl deyrnas.
537. 4 ¶ Yna y rhaglawiaid a'r tywysogion
oedd yn ceisio cael achlysur yn erbyn Daniel
o ran y frenhiniaeth: ond ni fedrent gael
un achos na bai; o herwydd ffyddlon *oedd*
efe, fel na chaed ynddo nac amryfusedd na
bai.
5 Yna y dywedodd y gwŷr hyn, Ni
chawn yn erbyn y Daniel hwn ddim achly-
sur, oni chawn *beth* o ran cyfraith ei Dduw
yn ei erbyn ef.
6 Yna y rhaglawiaid a'r tywysogion hyn
† Neu, *ddaethant yn derfysgus.* a † aethant ynghŷd at y brenhin, ac a ddy-
wedasant wrtho fel hyn; a Darïus frenhin,
bydd fyw byth.
a Neh. 2. 3. Adn. 21. 7 Holl raglawiaid y deyrnas, y swydd-
ogion, a'r tywysogion, y cynghoriaid, a'r
dugiaid, a ymgynghorasant am osod deddf
frenhinol, a chadarnhâu ‡ gorchymyn, fod ‡ Neu, *gwahardd-iad.*
bwrw i ffau 'r llewod pwy bynnag a archai
arch gan un Duw na dyn dros ddeng ni-
wrnod ar hugain, ond gennyt ti, O fren-
hin.
8 Yr awr hon, O frenhin, sicrhâ'r gor-
chymyn, a selia'r ysgrifen, fel na's newid-
ier; yn ol b cyfraith y Mediaid a'r Persiaid, b Esther 1. 19. a 8. 8.
yr hon § ni newidir.
9 O herwydd hyn y seliodd y brenhin § Cald. *nid a heibio.*
Darïus yr ysgrifen a'r gorchymyn.
10 ¶ Yna Daniel, pan wybu selio 'r ysgrif-
en, a aeth i'w dŷ, a'i ffenestri yn agored
yn ei 'stafell c tu a Jerusalem; d tair gwaith c 1 Bren. 8. 44, 48.
yn y dydd y gostyngai efe ar ei liniau, ac y d Psal. 55. 17.
gweddïai, ac y cyffesai o flaen ei Dduw,
megis y gwnai efe cyn hynny.
11 Yna'r gwŷr hyn a ddaethant ynghŷd,
ac a gawsant Ddaniel yn gweddïo ac yn
ymbil o flaen ei Dduw.
12 Yna y nesasant, ac y dywedasant o
flaen y brenhin am orchymyn y brenhin;
Oni seliaist ti orchymyn, mai i ffau 'r llew-
od y bwrid pa ddyn bynnag a ofynai gan
un Duw na dyn *ddim* dros ddeng niwrnod ar
hugain, ond gennyt ti, O frenhin? Atteb-
odd y brenhin, a dywedodd, *Y mae*'r peth
yn wir, yn ol cyfraith y Mediaid a'r Per-
siaid, yr hon ni newidir.
13 Yna 'r attebasant ac y dywedasant o
flaen y brenhin, Y Daniel, yr hwn *sydd* o
feibion caeth-glud Judah, ni wnaeth gyfrif
o honot ti, frenhin, nac o'r gorchymyn a
seliaist, eithr tair gwaith yn y dydd y mae
yn gweddïo ei weddi.
14 Yna'r brenhin, pan glybu 'r gair *hwn*,
e aeth yn ddrwg iawn gantho, ac a roes *ei* fryd e Felly
gyd â Daniel ar ei waredu ef: ac a fu hyd Marc 6. 26.
fachludiad haul yn ceisio ei achub ef.
15 Yna 'r gwŷr hynny a ddaethant ynghŷd
at y brenhin, ac a ddywedasant wrth y bren-
hin, Gwybydd, frenhin, mai cyfraith y Med-
iaid a'r Persiaid *yw*, na newidier un gorchy-
myn na deddf a osodo 'r brenhin.
16 Yna yr archodd y brenhin, a hwy a
ddygasant Ddaniel, ac a'i bwriasant i ffau 'r
llewod. *Yna*'r brenhin a lefarodd ac a ddy-
wedodd wrth Ddaniel, Dy Dduw yr hwn
yr ydwyt yn ei wasanaethu yn wastad, efe
a'th achub di.
17 A dygwyd carreg ac a'i gosodwyd ar
enau'r ffau; a'r brenhin f a'i seliodd hi â'i f Felly
sel ei hun, ac â sel ei dywysogion, fel na Mat. 26. 66.
newidid yr ewyllys am Ddaniel.
18 ¶ Yna yr aeth y brenhin i'w lys, ac a
fu y noson honno heb fwyd: ac ni adaw-
odd ddwyn ‖ difyrrwch o'i flaen; ei gwsg ‖ Neu,
hefyd a giliodd oddi wrtho. *bwrdd.*
19 Yna y cododd y brenhin yn fore iawn
ar y wawr ddydd, ac a aeth ar frys at ffau 'r
llewod.
20 A phan nesaodd efe at y ffau, efe a lef-
odd ar Ddaniel â llais trist. Llefarodd y
brenhin, a dywedodd wrth Ddaniel, Daniel,
gwasanaethwr y Duw byw, a all dy Dduw
di, yr hwn yr wyt yn ei wasanaethu yn
wastad, dy gadw di rhag y llewod?
21 Yna y dywedodd Daniel wrth y bren-
hin, g O frenhin, bydd fyw byth. g Pen. 2. 4.
22 Fy Nuw a anfonodd ei angel, ac h a h Heb. 11.
gauodd safnau 'r llewod, fel na wnaethant 33.
im' niweid: o herwydd puredd a gaed ynof
ger ei fron ef; a hefyd ni wnaethum niweid
o'th flaen dithau, frenhin.
23 Yna y brenhin fu dda iawn ganddo
o'i achos ef, ac a archodd gyfodi Daniel

allan o'r ffau. Yna y codwyd Daniel o'r
ffau; ac ni chaed niweid arno, o herwydd
credu o hono yn ei DDUW.
24 ¶ Yna y gorchymynodd y brenhin, a
hwy a ddygasant y gwŷr hynny a gyhudd-
asant Ddaniel, ac a'u bwriasant i ffau'r
llewod, hwy, [i] a'u plant, a'u gwragedd;
ac ni ddaethant i waelod y ffau hyd oni
orchfygodd y llewod hwynt, a dryllio eu
holl esgyrn.
25 ¶ Yna [k] yr ysgrifenodd y brenhin Da-
rius at y bobloedd, at y cenhedloedd a'r
ieithioedd oll y rhai oedd yn trigo yn yr holl
ddaear; Heddwch a amlhaer i chwi.
26 Gennyf fi y gosodwyd cyfraith, ar fod
trwy holl lywodraeth fy nheyrnas, i bawb
grynu ac ofni rhag Duw Daniel: o herwydd
efe *sydd* DDUW byw, ac yn parhâu byth;
[l] a'i frenhiniaeth ef yw yr hon ni ddifethir,
a'i lywodraeth *fydd* hyd y diwedd.
27 Y mae'n gwaredu ac yn achub, ac yn
gwneuthur arwyddion a rhyfeddodau yn y
nefoedd ac ar y ddaear; yr hwn a waredodd
Ddaniel † o feddiant y llewod.
28 A'r Daniel hwn a lwyddodd yn nheyrn-
asiad Darius, ac yn nheyrnasiad [m] Cyrus y
Persiad.

## PEN. VII.

1 *Gweledigaeth y pedwar anifail.* 9 *Brenhin-
iaeth Dduw.* 15 *Dirnad y weledigaeth.*

YN y flwyddyn gyntaf i Belsassar frenhin
Babilon, y gwelodd Daniel freuddwyd,
a gweledigaethau ei ben ar ei wely. Yna efe
a 'sgrifenodd y breuddwyd, *ac* a draethodd
swm y † geiriau.
2 Llefarodd Daniel, a dywedodd, Mi a
welwn yn fy ngweledigaeth y nos, ac wele
bedwar gwynt y nefoedd yn ymryson ar y
môr mawr.
3 A phedwar bwystfil mawr a ddaethant
i fynu o'r môr, yn amryw y naill oddi wrth
y llall.
4 Y cyntaf *oedd* [a] fel llew, ac iddo aden-
ydd eryr: edrychais hyd oni thynnwyd ei
adenydd, ‡ a'i gyfodi oddi wrth y ddaear,
a sefyll o hono ar ei draed fel dyn, a rhoddi
iddo galon dyn.
5 Ac wele, anifail arall, yr ail, yn debyg
i arth; ac efe a § ymgyfododd ar y naill
ystlys, ac *yr oedd* tair asen yn ei safn ef
rhwng ei ddannedd: ac fel hyn y dywedent
wrtho, Cyfod, bwytta gig lawer.
6 Wedi hyn yr edrychais, ac wele un arall
megis llewpard, ac iddo bedair aden aderyn
ar ei gefn: a phedwar pen oedd i'r bwyst-
fil; a rhoddwyd llywodraeth iddo.
7 Wedi hyn y gwelwn mewn gweledig-
aethau nos, ac wele bedwerydd bwystfil,
ofnadwy, ac erchyll, a chryf ragorol; ac
iddo yr oedd dannedd mawrion o haiarn:
yr oedd yn bwytta, ac yn dryllio, ac yn
sathru'r gweddill dan ei draed: hefyd *yr
ydoedd* efe yn amryw oddi wrth y bwystfil-
od oll y rhai *a fuasai* o'i flaen ef, ac *yr oedd*
iddo ddeg o gyrn.
8 Yr oeddwn yn ystyried y cyrn; ac wele,
cyfododd [b] corn bychan arall yn eu mysg
hwy, a thynnwyd o'r gwraidd dri o'r cyrn
cyntaf o'i flaen ef: ac wele lygaid fel llygaid
dyn yn y corn hwnnw, a [c] genau yn traethu
mawrhydri.
9 ¶ Edrychais hyd oni fwriwyd i lawr y
gorseddfeydd, a'r Hen ddihenydd a eistedd-
odd: ei wisg *oedd* cyn wynned a'r eira, a
gwallt ei ben fel gwlan pur; ei orseddfa yn
fflam dân, a'i olwynion *yn* dân poeth.

[i] Edrych Deut. 24. 16. 2 Bren. 14. 6.
[k] Pen. 3. 29. a 4. 1.
[l] Pen. 2. 44. a 4. 3, 34. a 7. 14, 27. Luc 1. 33.
† Cald. *o law.*
[m] Pen. 1. 21.
Awst 22. P.
555.
† Neu, *pethau.*
[a] Jer. 4. 7, 13. a 48. 40. Ezec. 17. 3. Hab. 1. 8.
‡ Neu, *a'r rhai y cyfodwyd ef oddi wrth, &c.*
§ Neu, *gyfododd un llywodraeth.*
[b] Adn. 21, 24. Pen. 8. 9.
[c] Adn. 25. Dat. 13. 5.

10 [d] Afon danllyd oedd yn rhedeg, ac yn
dyfod allan oddi ger ei fron ef: [e] mil o fil-
oedd a'i gwasanaethent, a myrdd fyrddiwn
a safent ger ei fron: y farn a eisteddodd, ac
[f] agorwyd y llyfrau.
11 Edrychais yna, o achos llais y geiriau
mawrion a draethodd y corn; ïe, edrychais
hyd oni laddwyd y bwystfil, a difetha ei
gorph ef, a'i roddi i'w losgi yn tân.
12 A'r rhan arall o'r bwystfilod, eu llyw-
odraeth a ddygpwyd ymaith; ‖ a rhoddwyd
iddynt einioes dros ysbaid ac amser.
13 Mi a welwn mewn gweledigaethau nos,
ac wele, [g] megis Mab y dyn oedd yn dy-
fod gyd â chymmylau y nefoedd; ac at yr
Hen ddihenydd y daeth, a hwy a'i dygasant
ger ei fron ef.
14 Ac efe a roddes iddo lywodraeth, a
gogoniant, a brenhiniaeth, fel y byddai i'r
holl bobloedd, cenhedloedd, a ieithioedd ei
wasanaethu ef: [h] ei lywodraeth *sydd* lyw-
odraeth dragywyddol, yr hon nid â ymaith,
a'i frenhiniaeth ni ddifethir.
15 ¶ Myfi Daniel a [i] ymofidiais yn fy ys-
pryd ynghanol *fy* † nghorph, a gweledi-
gaethau fy mhen a'm dychrynasant.
16 Nesëais at un o'r rhai a safent ger llaw,
a cheisiais ganddo y gwirionedd am hyn oll.
Ac efe a ddywedodd i mi, ac a wnaeth i mi
wybod deongliad y pethau.
17 Y bwystfilod mawrion hyn, y rhai sy
bedwar, *ynt* bedwar brenhin, *y rhai* a gy-
fodant o'r ddaear.
18 Eithr [k] saint y ‡ Goruchaf a dderbyn-
iant y frenhiniaeth, ac a feddiannant y fren-
hiniaeth hyd byth, a hyd byth bythoedd.
19 Yna'r ewyllysiais wybod y gwirionedd
am y pedwerydd bwystfil, yr hwn oedd yn
amrywio oddi wrthynt oll, yn ofnadwy
iawn, a'i ddannedd o haiarn, a'i ewinedd
o bres; yn bwytta, ac yn dryllio, ac yn
sathru'r gweddill â'i draed:
20 Ac am y deg corn *oedd* ar ei ben ef, a'r
llall yr hwn a gyfodasai, ac y syrthiasai tri
o'i flaen; sef y corn *yr oedd* llygaid iddo, a
genau yn traethu mawrhydri, a'r olwg arno
*oedd* yn arwach nâ'i gyfeillion.
21 Edrychais, a'r corn hwn [l] a wnaeth
ryfel ar y saint, ac a fu drech nâ hwynt;
22 Hyd oni ddaeth yr Hen ddihenydd, a
[m] rhoddi barn i saint y Goruchaf, a dyfod o'r
amser y meddiannai'r saint y frenhiniaeth.
23 Fel hyn y dywedodd efe; Y pedwerydd
bwystfil fydd y bedwaredd frenhiniaeth ar
y ddaear, yr hon a fydd amryw oddi wrth
yr holl frenhiniaethau, ac a ddifa'r holl
ddaear, ac a'i sathr hi, ac a'i dryllia.
24 A'r [n] deg corn o'r frenhiniaeth hon
*fydd* deg brenhin *y rhai* a gyfodant: ac un
arall a gyfyd ar eu hol hwynt, ac efe a am-
rywia oddi wrth y rhai cyntaf, ac a ddar-
ostwng dri brenhin.
25 Ac [o] efe a draetha eiriau yn erbyn y
Goruchaf, ac a ddifa saint y Goruchaf, ac a
feddwl newidio amseroedd a chyfreithiau:
a hwy a roddir yn ei law ef, [p] hyd amser ac
amseroedd a rhan amser.
26 Yna yr eistedd y farn, a'i lywodraeth
a ddygant, i'w difetha ac i'w distrywio hyd
y diwedd.
27 A'r [q] frenhiniaeth a'r llywodraeth, a
mawredd y frenhiniaeth dan yr holl nefoedd,
a roddir i bobl saint y Goruchaf, yr hwn y
mae ei frenhiniaeth *yn* frenhiniaeth dragy-
wyddol, a phob § llywodraeth a wasanaeth-
ant ac a ufuddhânt iddo.

[d] Psal. 50. 3. a 97. 3. Esay 30. 33.
[e] 1 Bren. 22. 19. Psal. 68. 17. Dat. 5. 11.
[f] Dat. 20. 12.
‖ Cald. *ac estyniad mewn einioes a roddwyd iddynt tros, &c.*
[g] Ezec. 1. 26. Dat. 1. 13. a 14. 14.
[h] Pen. 2. 44. Mich. 4. 7. Luc 1. 33. Ioan 12. 34.
[i] Adn. 28.
† Cald. *nghwain.*
[k] Esay 60. 12. Adn. 22.
‡ Cald. *goruchaf-ion.*
[l] Dat. 11. 7. a 13. 7.
[m] Adn. 18. Dat. 1. 6. a 5. 10.
[n] Adn. 7, 8.
[o] Pen. 8. 24, 25. a 11. 28, 30, 31. 1 Mac. 1. 46.
[p] Pen. 12. 7.
[q] Luc 1. 33. Ioan 12. 34.
§ Neu, *llywodraethwyr.*

28 Hyd yma *y mae* diwedd y peth. [r] Fy
meddyliau i Daniel a'm dychrynodd yn
ddirfawr, a'm gwedd a newidiodd ynof;
eithr mi a gedwais y peth yn fy nghalon.

## PEN. VIII.

1 *Gweledigaeth yr hwrdd a'r bwch.* 13 *MMCCC o ddyddiau aberth.* 15 *Gabriel yn cysuro Daniel, ac yn dirnad y weledigaeth.*

553 YN y drydedd flwyddyn o deyrnasiad
Belsassar y brenhin, yr ymddangosodd
i mi weledigaeth, *sef* i myfi Daniel, wedi
*yr hon* a ymddangosasai i mi ar y cyntaf.
2 Gwelais hefyd mewn gweledigaeth (a
bu pan welais, mai yn Susan y brenhin-llys,
yr hwn *sydd* o fewn talaith Elam, *yr
oeddwn* i) ie, gwelais mewn gweledigaeth,
ac yr oeddwn i wrth afon Ulai.
3 Yna y cyfodais fy llygaid, ac a welais,
ac wele ryw hwrdd yn sefyll wrth yr afon,
a deugorn iddo; a'r ddau gorn *oedd* uchel,
ac un yn uwch na'r † llall; a'r uchaf a gy-
fodasai yn olaf.
4 Gwelwn yr hwrdd yn cornio tu a'r
gorllewin, tu a'r gogledd, a thu a'r deau,
fel na safai un bwystfil o'i flaen ef, ac nid
*oedd* a achubai o'i law ef; ond [a] efe a
wnaeth yn ol ei ewyllys ei hun, ac a aeth
yn fawr.
5 Ac fel yr oeddwn yn ystyried, wele
hefyd fwch geifr yn dyfod o'r gorllewin, ar
hyd wyneb yr holl ddaear, ‡ ac heb gy-
ffwrdd â'r ddaear; ac i'r bwch *yr oedd* corn
§ hynod rhwng ei lygaid.
6 Ac efe a ddaeth hyd at yr hwrdd deu-
gorn a welswn i yn sefyll wrth yr afon, ac
efe a redodd atto ef yn an-gerdd ei nerth.
7 Gwelais ef hefyd yn dyfod hyd at yr
hwrdd, ac efe a fu chwerw wrtho, ac a
darawodd yr hwrdd, ac a dorrodd ei ddau
gorn ef, ac nid oedd nerth yn yr hwrdd i
sefyll o'i flaen ef, eithr efe a'i bwriodd ef i
lawr, ac a'i sathrodd ef; ac nid oedd a allai
achub yr hwrdd o'i law ef.
8 Am hynny y bwch geifr a aeth yn fawr
iawn; ac wedi ei gryfhâu, torrodd y corn
mawr: a chododd pedwar o rai hynod yn ei
le ef, [b] tu a phedwar gwynt y nefoedd.
9 Ac o un o honynt [c] y daeth allan gorn
bychan, ac a dyfodd yn rhagorol, tu a'r
dehau, a thu a'r dwyrain, a thu a'r [d] hyfryd-
*wlad*.
10 Aeth yn fawr hefyd ‖ hyd lu y nef-
oedd, a [e] bwriodd i lawr *rai* o'r llu, ac o'r
ser, ac a'u sathrodd hwynt.
11 Ymfawrygodd hefyd † hyd at [f] dywy-
sog y llu, a [g] dygwyd ymaith yr *offrwm*
gwastadol [h] ‡ oddi arno ef, a bwriwyd
ymaith le ei gyssegr ef.
12 § A rhoddwyd iddo lu yn erbyn yr
*offrwm* beunyddiol o herwydd camwedd, ac
efe a fwriodd y gwirionedd i lawr; felly y
gwnaeth, ac y llwyddodd.
13 ¶ Yna y clywais ryw sant yn llefaru,
a dywedodd rhyw sant arall wrth ‖ y rhyw
*sant* hwnnw oedd yn llefaru, Pa hyd *y
bydd* y weledigaeth *am* yr *offrwm* gwastadol,
a chamwedd † anrhaith, i roddi'r cyssegr
a'r llu yn sathrfa?
14 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Hyd
ddwy fil a thri chant o ‡ ddiwrnodiau: yna
y § purir y cyssegr.
15 ¶ A phan welais i Daniel y weledig-
aeth, a cheisio o honof y deall, yna wele,
safodd ger fy mron megis rhith gwr.

[r] Adn. 15. Pen. 8. 27. a 10. 8, 16.
Awst 23. B.
† Heb. *au.*
[a] Pen. 11. 3.
‡ Neu, *ac nid oedd a'i cyffyrddai yn y ddaear.*
§ Neu, *amlwg.* Heb. *golwg.*
[b] Pen. 11. 4.
[c] Pen. 7. 8. a 11. 21.
[d] Psal. 48. 2. Ezec. 20. 6. Pen. 11. 16, 41, 45.
‖ Neu, *yn erbyn llu y nefoedd.*
[e] Dat. 12. 4.
† Neu, *yn erbyn tywysog.*
[f] Jos. 5. 14.
[g] Exod. 29. 38. Num. 28. 3.
[h] Adn. 25. 1 Mac. 1. 45, 46.
‡ Neu, *ganddo.*
§ Neu, *Y llu a roddwyd i fynu am y camwedd yn erbyn yr offrwm beunyddiol.*
‖ *y rhifwr dirgelion, neu y rhifwr rhyfeddol.* Heb. *Palmoni.*
† Neu, *yn anrhaith.*
‡ Heb. *hwyr a bore.*
§ Neu, *cyfiawnhëir.*

16 A chlywais lais dyn rhwng *glannau*
Ulai, ac efe a lefodd ac a ddywedodd, [i] Ga-
briel, gwna i hwn ddeall y weledigaeth.
17 Ac efe a ddaeth yn agos i'r lle y safwn;
a phan ddaeth, mi a ddychrynais, ac [k] a
syrthiais ar fy wyneb: ac efe a ddywedodd
wrthyf, Deall, fab dyn; o herwydd y wel-
edigaeth *fydd* yn amser y diwedd.
18 A [l] thra'r oedd efe yn llefaru wrthyf,
syrthiais mewn trym-gwsg i lawr ar fy wy-
neb: ac efe a gyffyrddodd â mi, ac a'm cy-
fododd yn fy sefyll.
19 Dywedodd hefyd, Wele fi yn hyspysu
it' yr hyn a fydd yn niwedd y digter; canys
ar yr amser gosodedig *y bydd* y diwedd.
20 Yr hwrdd deugorn a welaist, *yw* bren-
hinoedd Media a Phersia.
21 A'r bwch blewog *yw* brenhin Groëg;
a'r corn mawr, yr hwn *sydd* rhwng ei lygaid
ef, dyna'r brenhin cyntaf.
22 Lle y torrwyd ef, ac y cyfododd ped-
war yn ei le, pedair brenhiniaeth a gyfodant
o'r *un* genedl, ond nid un nerth ag ef.
23 A thu a diwedd eu brenhiniaeth hwynt,
pan gyflawner y troseddwŷr, y cyfyd bren-
hin wyneb-greulon, ac yn deall damhegion.
24 A'i nerth ef a gryfhâ, ond nid trwy ei
nerth ei hun; ac efe a ddinystria yn rhy-
fedd, ac a lwydda, ac a wna, ac a ddiny-
stria'r cedyrn, ‖ a'r bobl sanctaidd.
25 A thrwy ei gyfrwysdra y ffynna gan-
ddo dwyllo; ac efe a ymfawryga yn ei ga-
lon, a thrwy † heddwch y dinystria efe la-
wer: ac efe a saif yn erbyn tywysog y ty-
wysogion; ond [m] efe a ddryllir heb law.
26 A gweledigaeth yr hwyr a'r bore, yr
hon a draethwyd, sydd wirionedd: [n] selia
dithau'r weledigaeth, o herwydd dros ddy-
ddiau lawer *y bydd*.
27 [o] Minnau Daniel a aethym yn llesg, ac
a fum glaf *ennyd* o ddyddiau; yna y cyfod-
ais, ac y gwneuthum orchwyl y brenhin, ac
a synnais o herwydd y weledigaeth, ond nid
oedd neb yn *ei* deall.

[i] Pen. 9. 21. Luc 1. 19, 26.
[k] Ezec. 1. 28. Dat. 1. 17.
[l] Pen. 10. 9. Luc 9. 32.
‖ Heb. *a phobl y rhai sanctaidd.*
† Neu, *lwyddiant.*
[m] 1 Mac. 6. 8. 2 Mac. 9. 9.
[n] Pen. 12. 4. Dat. 22. 10.
[o] Pen. 7. 28. a 10. 8, 16.

## PEN. IX.

1 *Daniel yn ystyried amser y caethiwed;* 3 *ac yn cyffesu ei bechodau;* 16 *ac yn gweddïo am adnewyddu Jerusalem.* 20 *Gabriel yn dangos iddo y deg wythnos a thrugain.*

YN y flwyddyn gyntaf i [a] Ddarïus fab 538.
Ahasferus, o had y Mediaid, † yr hwn
a wnaethid yn frenhin ar deyrnas y Cal-
deaid,
2 Yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad ef,
myfi Daniel a ddeallais wrth lyfrau rifedi'r
blynyddoedd, *am* y rhai y daethai gair yr
Arglwydd at [b] Jeremi y prophwyd, y cy-
flawnai efe ddeng mlynedd a thrugain yn
anghyfanedd-dra Jerusalem.
3 ¶ Yna y troais fy wyneb at yr Arglwydd
Dduw, i geisio *trwy* weddi ac ymbil, yng-
hŷd ag ympryd, a sachlïain, a lludw.
4 A gweddïais ar yr Arglwydd fy
Nuw, a chyffesais, a dywedais, Attolwg,
[c] Arglwydd Dduw mawr ac ofnadwy,
ceidwad cyfammod a thrugaredd i'r rhai
a'i carant, ac i'r rhai a gadwant ei orchymy-
nion;
5 [d] Pechasom, a gwnaethom gamwedd, a
buom anwir, gwrthryfelasom hefyd, sef trwy
gilio oddi wrth dy orchymynion, ac oddi
wrth dy farnedigaethau.
6 Ni wrandawsom chwaith ar y pro-
phwydi dy weision, y rhai a lefarasant yn

Awst 23. P. 10. Ion cyn y Pasg, B.
[a] Pen. 1. 21. a 6. 28.
† Neu, *yn yr hon y gwnaed ef yn frenhin.*
[b] Jer. 25. 12. a 29. 10.
[c] Deut. 7. 9. Neh. 1. 5. a 9. 32.
[d] Psal. 106. 6. Esay 64. 5, 6, 7. Baruch 1. 17.

dy enw di, wrth ein brenhinoedd, ein tywysogion, ein tadau, ac wrth holl bobl y tir.

7 † I ti, ARGLWYDD, *y perthyn* cyfiawnder, ond i ni gywilydd wynebau, megis heddyw; i wŷr Judah, ac i drigolion Jerusalem, ac i holl Israel, yn agos ac ym mhell, trwy 'r holl wledydd lle y gyriaist hwynt, am eu camwedd a wnaethant i'th erbyn.

8 ARGLWYDD, [e] *y mae* cywilydd wynebau i ni, i'n brenhinoedd, i'n tywysogion, ac i'n tadau, o herwydd i ni bechu i'th erbyn.

9 Gan yr ARGLWYDD ein Duw *y mae* trugareddau a maddeuant, er gwrthryfelu o honom i'w erbyn.

10 Ni wrandawsom chwaith ar lais yr ARGLWYDD ein Duw, i rodio yn ei gyfreithiau ef y rhai a roddodd efe o'n blaen ni, trwy law ei weision y prophwydi.

11 Îe, holl Israel a droseddasant dy gyfraith di, sef trwy gilio rhag gwrando ar dy lais di: am hynny [f] y tywalltwyd arnom ni y felldith a'r llw a 'sgrifenwyd ynghyfraith Moses gwasanaethwr Duw, am bechu o honom yn ei erbyn ef.

12 Ac [g] efe a gyflawnodd ei eiriau y rhai a lefarodd efe yn ein herbyn ni, ac yn erbyn ein barnwŷr y rhai a'n barnent, gan ddwyn arnom ni ddialedd mawr; canys [h] ni wnaethpwyd dan yr holl nefoedd megis y gwnaethpwyd ar Jerusalem.

13 Megis y mae yn ysgrifenedig ynghyfraith Moses y daeth yr holl ddrygfyd hyn arnom ni: etto nid ymbiliasom ‡ o flaen yr ARGLWYDD ein Duw, gan droi oddi wrth ein hanwiredd, a chan ddeall dy wirionedd di.

14 Am hynny [i] y gwyliodd yr ARGLWYDD ar y dialedd, ac a'i dug arnom ni; o herwydd [k] cyfiawn *yw*'r ARGLWYDD ein Duw yn ei holl weithredoedd y mae yn eu gwneuthur: canys ni wrandawsom ni ar ei lais ef.

15 Etto yr awr hon, O ARGLWYDD ein Duw, [l] yr hwn a ddygaist dy bobl allan o wlad yr Aipht â llaw gref, ac a wnaethost i ti [m] enw megis heddyw, nyni a bechasom, ni a wnaethom anwiredd.

16 ¶ O ARGLWYDD, yn ol dy holl gyfiawnderau, attolwg, troër dy lidiowgrwydd a'th ddigter oddi wrth dy ddinas Jerusalem, dy fynydd sanctaidd; o herwydd am ein pechodau, ac am anwireddau ein tadau, y mae Jerusalem a'th bobl [n] yn waradwydd i bawb o'n hamgylch.

17 Ond yr awr hon gwrando, O ein Duw ni, ar weddi dy was, ac ar ei ddeisyfiadau, a [o] llewyrcha dy wyneb ar dy gyssegr anrheithiedig, er mwyn yr ARGLWYDD.

18 Gostwng dy glust, O fy Nuw, a chlyw; agor dy lygaid, a gwel ein hanrhaith ni, a'r ddinas y gelwir dy enw di arni: oblegid nid o herwydd ein cyfiawnderau ein hun yr ydym ni yn § tywallt ein gweddïau ger dy fron, eithr o herwydd dy aml drugareddau di.

19 Clyw, ARGLWYDD; arbed, ARGLWYDD; ystyr, O ARGLWYDD, a gwna; nac oeda er dy fwyn dy hun, O fy NUW: o herwydd dy enw di a alwyd ar y ddinas hon, ac ar dy bobl.

20 ¶ A mi etto yn llefaru, ac yn gweddïo, ac yn cyffesu fy mhechod, a phechod fy mhobl Israel, ac yn tywallt fy ngweddi ger bron yr ARGLWYDD fy NUW dros fynydd sanctaidd fy NUW;

21 Îe, a mi etto yn llefaru mewn gweddi, yna y gwr, [p] Gabriel, yr hwn a welswn mewn gweledigaeth yn y dechreuad, gan ehedeg yn fuan, [q] a gyffyrddodd â mi ynghylch pryd yr offrwm prydnhawnol.

22 Ac efe a barodd *im'* ddeall, ac a ymddiddanodd â mi, ac a ddywedodd, Daniel, daethum yn awr allan i beri it' fedru deall.

23 Yn nechreu dy weddïau yr aeth y ‖ gorchymyn allan, ac [r] mi a ddeuthum i'w fynegi i *ti*: canys † anwyl *ydwyt* ti: ystyr dithau 'r peth, a deall y weledigaeth.

24 Deng-hwythnos a thri ugain a derfynwyd ar dy bobl, ac ar dy ddinas sanctaidd, i ‡ ddibennu camwedd, ac i § selio pechodau, ac i wneuthur cymmod dros anwiredd, ac i ddwyn cyfiawnder tragywyddol, ac i selio 'r weledigaeth a'r ‖ brophwydoliaeth, ac i eneinio 'r sancteiddiolaf.

25 Gwybydd gan hynny, a deall *y bydd* [s] o fynediad y gorchymyn allan am adferu ac am adeiladu Jerusalem, hyd y blaenor Messïah, saith wythnos, a dwy wythnos a thrugain: yr heol a † adeiledir drachefn, a'r ‡ mur, sef § mewn amseroedd blinion.

26 Ac wedi dwy wythnos a thrugain [t] y lleddir y Messïah, ond ‖ nid o'i achos ei hun: a [u] phobl y tywysog yr hwn a ddaw a ddinystria 'r ddinas a'r cyssegr; a'i ddiwedd *fydd* trwy lifeiriant, a hyd ddiwedd y rhyfel † *y bydd* dinystr anrheithiol:

27 Ac efe a sicrhâ 'r cyfammod â llawer dros un wythnos: ac yn hanner yr wythnos y gwna efe i 'r aberth a'r bwyd-offrwm beidio; ‡ a thrwy [x] luoedd ffiaidd yr anrheithia efe *hi*, hyd oni thywallter [y] y diben terfynedig ar yr anrheithiedig.

Marginal notes: † Neu, *Gyda thi, Arglwydd, y mae cyfiawnder*, neu, *Ti, Arglwydd, biau cyfiawnder*. [e] Baruch 1. 15. [f] Lef. 26. 14, &c. Deut. 28. 15, &c. a 29. 20, &c. a 30. 17, 18. a 31. 17, &c. a 32. 19, &c. [g] Galar. 2. 17. [h] Galar. 1. 12. a 2. 13. ‡ Heb. *ug wymb.* [i] Jer. 31. 28. a 44. 27. [k] Neh. 9. 33. [l] Exod. 6. 1, 6. a 32. 11. [m] Exod. 14. 18. [n] Psal. 44. 14. a 79. 4. [o] Num. 6. 25. Psal. 67. 1. a 80. 3, 7, 19. § Heb. *gwneuthur i'n deisyfiadau gwympo ger*, &c. [p] Pen. 8. 16. [q] Pen. 8. 18. ‖ Heb. *gair.* [r] Pen. 10. 12. † Heb. *gwr dymuniadau.* ‡ Neu, *attal.* § Neu, *orphen.* ‖ Heb. *prophwyd.* [s] Ezra 4. 24. a 6. 1, 15. † Heb. *ddychwel ac a adeiledir.* ‡ Neu, *uduy*, neu, *clawdd.* § Heb. *ynghyfyngder amseroedd.* [t] Esay 53. 8. Marc 9. 12. ‖ Neu, *ni bydd dim ganddo*, neu, *ni bydd neb gyd ag ef.*

[u] Mat. 22. 7. † Neu, *yr ordeiniwyd anrhaith*, neu, *y torrir ef ymaith trwy anrhaith.* ‡ Neu, *o herwydd ymledu o ffieidddra.* Heb. *o herwydd asgell ffieidd-dra.* [x] Mat. 24. 15. Marc 13. 14. Luc 21. 20. [y] Edrych Esay 10. 22, 23. Pen. 11. 36.

## PEN. X.

1 *Daniel, wedi ymddarostwng, yn gweled gweledigaeth.* 10 *Dychryn yn ei flino ef; a'r angel yn ei gysuro.*

Awst 25. B. S. Mihangel, P. gw. 3.

YN y drydedd flwyddyn i Cyrus brenhin Persia, y datguddiwyd peth i Ddaniel, (yr hwn y gelwid ei enw Beltesassar) a'r peth *oedd* wir, ond yr amser nodedig *oedd* † hir; ac [a] efe a ddeallodd y peth, ac a gafodd wybod y weledigaeth. 534.

2 Yn y dyddiau hynny y galerais i Daniel dair wythnos o ddyddiau.

3 Ni fwytteais fara blasus, ac ni ddaeth cig na gwin yn fy ngenau; gan ymiro hefyd nid ymirais, nes cyflawni tair wythnos o ddyddiau.

4 Ac yn y pedwerydd dydd ar hugain o'r mis cyntaf, fel yr oeddwn i wrth ymyl yr afon fawr, honno *yw* [b] Hidecel;

5 Yna y cyfodais fy llygaid, ac yr edrychais, ac wele [c] ‡ ryw wr wedi ei wisgo â lliain, a'i lwynau [d] wedi eu gwregysu ag [e] aur coeth o Uphaz.

6 A'i gorph *oedd* fel *maen* beryl, a'i wyneb fel gwelediad mellten, a'i lygaid fel lampau tân, a'i freichiau a'i draed fel lliw pres gloyw, a [f] sain ei eiriau fel sain tyrfa.

7 A mi Daniel yn unig a welais y weledigaeth: canys [g] y dynion y rhai oedd gyd â mi ni welsant y weledigaeth; eithr syrth-

Marginal notes: † Heb. *fawr.* [a] Pen. 1. 17. [b] Gen. 2. 14. [c] Pen. 12. 6. ‡ Heb. *un gwr.* [d] Dat. 1. 13, 14, 15. [e] Jer. 10. 9. [f] Ezec. 1. 24. [g] Act. 9. 7.

iodd arnynt ddychryn mawr, fel y ffoisant i
ymguddio.
8 A mi a adawyd fy hunan, ac a welais
y weledigaeth fawr hon, ac ni thrigodd
h Pen. 7. 28. nerth ynof: canys h † fy ngwedd a drodd
ynof yn llygredigaeth, ac nid atteliais nerth.
† Neu, *fy ngrym.* 9 Etto mi a glywais sain ei eiriau ef: a
i Pen. 8. 18. phan glywais sain ei eiriau ef, yna i yr
oeddwn mewn trym-gwsg ar fy wyneb,
a'm hwyneb tu a'r ddaear.
k Pen. 9. 21. Dat. 1. 17. 10 ¶ Ac wele, k llaw a gyffyrddodd â mi,
ac ‡ a'm gosododd ar fy ngliniau, ac *ar*
‡ Heb. *a wnaeth i mi ymmud ar fy ngliniau.* gledr fy nwylaw.
11 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Daniel,
l wr § anwyl, deall y geiriau a lefaraf wrth-
yt, a saf yn dy sefyll: canys attat ti y'm
l Pen. 9. 23. hanfonwyd yr awr hon. Ac wedi iddo ddy-
§ Heb. *dymuniadau.* wedyd y gair hwn, sefais gan grynu.
12 Yna efe a ddywedodd wrthyf, Nac
ofna, Daniel: o herwydd er y dydd cyntaf
y rhoddaist dy galon i ddeall, ac i ymgys-
tuddio ger bron dy DDUW, y gwrandawyd
dy eiriau; ac o herwydd dy eiriau di y
daethum i.
13 Ond tywysog teyrnas Persia a safodd
yn fy erbyn un diwrnod ar hugain: ond
m Adn. 21. Pen. 12. 1. wele m Michael, ‖ un o'r tywysogion pen-
naf, a ddaeth i'm cynnorthwyo; a mi a
‖ Neu, *y blaenaf.* arhosais yno gyd â brenhinoedd Persia.
14 A mi a ddaethum i beri it' ddeall yr
hyn a ddigwydd i'th bobl yn y dyddiau di-
n Hab. 2. 3. weddaf: o herwydd n *y mae*'r weledigaeth
etto dros ddyddiau *lawer.*
15 Ac wedi iddo lefaru wrthyf y geiriau
hyn, gosodais fy wyneb tu a'r ddaear, ac a
aethum yn fud.
† Heb. *feibion dynion.* 16 Ac wele, tebyg i † ddyn a gyffyrdd-
odd â'm gwefusau: yna yr agorais fy safn,
ac y lleferais, ac y dywedais wrth yr hwn
oedd yn sefyll ar fy nghyfer, O fy arglwydd,
fy ngofidiau a droisant arnaf gan y weledig-
aeth, ac nid atteliais nerth.
‡ Neu, *gwasanaethwr yma fy arglwydd.* 17 A pha fodd y dichon ‡ gwasanaethwr
fy arglwydd yma lefaru wrth fy arglwydd
yma? a minnau yna ni safodd nerth ynof,
ac nid arhôdd ffun ynof.
18 Yna y cyffyrddodd eilwaith â mi fel
dull dyn, ac a'm cryfhaodd i,
o Adn. 11. 19 Ac a ddywedodd, Nac ofna, o wr an-
wyl; heddwch it', ymnertha, ïe ymnertha.
A phan lefarasai efe wrthyf, ymnerthais, a
dywedais, Llefared fy arglwydd; o her-
wydd cryfheaist fi.
20 Ac efe a ddywedodd, A wyddost ti pa
ham y deuthum attat? ac yn awr dychwelaf i
ryfela â thywysog Persia: ac wedi i mi fy-
ned allan, wele tywysog tir Groëg a ddaw.
21 Eithr mynegaf it' yr hyn a hysbyswyd
§ Neu, *dal.* yn ysgrythyr gwirionedd: ac nid *oes* un yn
p Adn. 13. Jud. 9. Dat. 12. 7. § ymegnio gyd â mi yn hyn, ond p Michael
eich tywysog chwi.

## PEN. XI.

Awst 25. P.

1 *Dinystr Persia gan frenhin Groëg.* 5 *Y cyngreiriau a'r cadau rhwng brenhin y dehau a brenhin y gogledd.* 30 *Rhuthr a chreulonder y Rhufeiniaid.*

534. a Pen. 5. 31.
AC yn y flwyddyn gyntaf i a Darïus y
Mediad, y sefais i i'w gryfhâu ac i'w
nerthu ef.
2 Ac yr awr hon y gwirionedd a fynegaf
i ti, Wele, tri brenhin etto a safant o fewn
Persia, a'r pedwerydd a fydd cyfoethoccach
nâ *hwynt* oll: ac fel yr ymgadarnhao efe
yn ei gyfoeth, y cyfyd efe bawb yn erbyn
teyrnas Groëg.

3 A b brenhin cadarn a gyfyd, ac a lyw- b Pen. 8. 4.
odraetha â llywodraeth fawr, ac a wna fel y
mynno.
4 A phan safo efe, dryllir ei deyrnas, ac
a'i rhennir tu a phedwar gwynt y nefoedd;
ac nid i'w hiliogaeth ef, c nac fel ei lywod- c Pen. 8. 22.
raeth a lywodraethodd efe: o herwydd ei
frenhiniaeth ef a ddiwreiddir i eraill heb
law y rhai hynny.
5 ¶ Yna y cryfhâ brenhin y deau, ac *un*
o'i dywysogion: ac efe a gryfhâ uwch ei
law ef, ac a lywodraetha: llywodraeth fawr
*fydd* ei lywodraeth ef.
6 Ac yn niwedd blynyddoedd yr † ym- † Heb. *ymgyfeillachant.*
gyssylltant; canys merch brenhin y deau
a ddaw at frenhin y gogledd i wneuthur
‡ cymmod; ond ni cheidw hi nerth y braich; ‡ Heb. *uniondeb,* neu, *yr iawn.*
ac ni saif yntau, na'i fraich: eithr rhoddir
hi i fynu, a'r rhai a'i dygasant hi, a'r hwn
§ a'i cenhedlodd hi, a'i chymhorthwr, yn § Neu, *a esgorodd hi.*
yr amseroedd *hyn.*
7 Eithr yn ei le ef y saif *un* allan o fla-
guryn ei gwraidd hi, yr hwn a ddaw â llu,
ac a â i ymddiffynfa brenhin y gogledd, ac
a wna yn eu herbyn hwy, ac a orchfyga;
8 Ac a ddwg hefyd i gaethiwed i'r
Aipht, eu duwiau hwynt, a'u tywysogion,
a'u dodrefn anwyl o arian ac aur, ac efe
a bery *fwy o* flynyddoedd nâ brenhin y
gogledd.
9 A brenhin y deau a ddaw i'*w* deyrnas,
ac a ddychwel i'w dir ei hun.
10 A'i feibion a ‖ gyffrôir, ac a gasglant ‖ Neu, *ryfelant.*
dyrfa o luoedd mawrion: a chan ddyfod
y daw *un,* ac a lifeiria, ac a â trosodd: yna
efe a ddychwel, ac a gyffrôir hyd ei ymddi-
ffynfa ef.
11 Yna y cyffry brenhin y deau, ac yr â
allan, ac a ymladd ag ef, *sef* â brenhin y
gogledd: ac efe a gyfyd dyrfa fawr; ond y
dyrfa a roddir i'w law ef.
12 Pan gymmerer ymaith y dyrfa, yr † Heb. *yn niwedd amseroedd blynyddoedd.*
ymddyrchafa ei galon, ac efe a gwympa
fyrddiwn; er hynny ni bydd efe cryf.
13 Canys brenhin y gogledd a ddychwel,
ac a gyfyd dyrfa fwy nâ'r gyntaf, ac † ym ‡ Heb. *a meibion yspeilwyr o'th bobl.*
mhen ennyd o flynyddoedd, gan ddyfod y
daw â llu mawr, ac â chyfoeth mawr.
14 Ac yn yr amseroedd hynny llawer a § Heb. *ddinas yr ymddiffynfaoedd.*
safant yn erbyn brenhin y deau; ‡ a'r ys-
peilwyr o'th bobl a ymddyrchafant i sicr-
hâu 'r weledigaeth; ond hwy a syrthiant.
15 Yna y daw brenhin y gogledd, ac a ‖ Heb. *na phobl ei ddewis ef.*
fwrw glawdd, ac a ynnill § y dinasoedd
caerog, ond breichiau'r deau ni wrthsafant,
‖ na'i bobl ddewisol ef; ac ni *bydd* nerth i † Heb. *yngwlâd harddwch,* neu, *addurn.*
sefyll.
16 A'r hwn a ddaw yn ei erbyn ef a wna
fel y mynno, ac ni *bydd* a safo o'i flaen; ac
efe a saif † yn d y wlad hyfryd, a thrwy ei d Pen. 8. 9. Adn. 41, 45.
law ef y difethir hi.
17 Ac efe a esyd ei wyneb ar fyned â
chryfder ei holl deyrnas, ‡ a rhai uniawn ‡ Neu, *ac uniondeb.*
gyd ag ef; fel hyn y gwna; ac efe a rydd
iddo ferch gwragedd, § gan ei llygru hi; § Heb. *i'w llygru hi.*
ond ni saif hi *ar ei du ef,* ac ni bydd hi gyd
ag ef.
18 Yna y try efe ei wyneb at yr ynys- ‖ Heb. *iddo ei hun,* neu, *trosto ei hun.*
oedd, ac a ynnill lawer; ond pennaeth a
bair i'w warth ef beidio, ‖ er ei fwyn ei
hun, † heb warth iddo ei hun: efe a'i dettry † Heb. *heb ei warth.*
arno ef.
19 Ac efe a dry ei wyneb at amddiffyn- ‡ Heb. *a baro i'r drethwr fyned trosodd.*
feydd ei dir ei hun: ond efe a dramgwydda,
ac a syrth, ac ni's ceir ef.
20 Ac yn ei le ef y saif un ‡ a gyfyd-

drethau yngogoniant y deyrnas: ond o fewn
ychydig ddyddiau y distrywir ef; ac nid
mewn dig, nac mewn rhyfel.
21 Ac yn ei le yntau y saif [e] *un* dirmygus,
ac ni roddant iddo ogoniant y deyrnas:
eithr efe a ddaw i mewn yn heddychol,
ac a ymeifl yn y frenhiniaeth trwy weniaith.
22 Ac â breichiau llifeiriant y llifir trostynt o'i flaen ef, ac y dryllir hwynt, a
[f] thywysog y cyfammod hefyd.
23 Ac wedi ymgyfeillach ag ef, y gwna
Cyflawnwyd 171. efe dwyll; canys efe a ddaw i fynu, ac a
ymgryfhâ ag ychydig bobl.
24 † I'r dalaith heddychol a bras y
daw efe, ac a wna yr hyn ni wnaeth ei
dadau, na thadau ei dadau: [g] ysglyfaeth,
ac yspail, a golud, a daena efe yn eu mysg:
ac ar gestyll y bwriada efe ei fwriadau, *sef*
dros amser.
25 Ac efe a gyfyd ei nerth a'i galon yn
Cyflawnwyd 170. erbyn brenhin y deau â llu mawr: a brenhin
y deau a ymesyd i ryfel â llu mawr a chryf
iawn; ond ni saif efe: canys bwriadant
fwriadau yn ei erbyn ef.
26 Y rhai a fwyttânt ran o'i fwyd ef a'i
difethant ef, a'i lu ef a lifeiria; a llawer a
syrth yn lladdedig.
27 ‡ A chalon y ddau frenhin hyn *fydd*
ar wneuthur drwg, ac ar un bwrdd y
traethant gelwydd; ond ni thycia: canys
[h] etto *y bydd* y diwedd ar yr amser nodedig.
28 Ac efe a ddychwel i'w dir ei hun â
chyfoeth mawr; [i] a'i galon *fydd* yn erbyn y
Cyflawnwyd 169. cyfammod sanctaidd: felly y gwna efe, ac y
dychwel i'w wlad.
29 Ar amser nodedig y dychwel, ac y daw
Cyflawnwyd 168. tu a'r deau; ac ni bydd fel *y daith* gyntaf,
neu fel yr olaf.
30 ¶ Canys llongau Chittim a ddeuant yn
ei erbyn ef; am hynny'r ymofidia, ac y
dychwel, ac y digia yn erbyn y cyfammod
sanctaidd: felly y gwna efe, ac y dychwel,
ac efe a ymgynghora â'r rhai a adawant y
cyfammod sanctaidd.
31 Breichiau hefyd a safant ar ei du
ef, ac [k] a halogant gyssegr yr ymddiffynfa, ac a ddygant ymaith y gwastadol
*aberth*, ac a osodant *yno* y ffieidd-dra § anrheithiol.
32 ‖ A throseddwŷr y cyfammod a lygra
efe trwy weniaith: eithr y bobl a adwaenant eu Duw, a fyddant gryfion, ac a
ffynnant.
33 A'r rhai synhwyrol ym mysg y bobl a
ddysgant lawer; etto syrthiant trwy'r
cleddyf, a thrwy dân, trwy gaethiwed, a
thrwy yspail, ddyddiau *lawer.*
34 A phan syrthiant, â chymmorth bychan y cymhorthir hwynt; eithr llawer a
lŷn wrthynt hwy trwy weniaith.
35 A *rhai* o'r deallgar a syrthiant † i'w
[l] puro, ac i'*w* glanhâu, ac i'*w* cannu, hyd
amser y diwedd: [m] canys *y mae* etto dros
amser nodedig.
36 A'r brenhin a wna wrth ei ewyllys
ei hun, ac a ymddyrcha, ac a ymfawryga
uwch law pob duw; ac [n] yn erbyn Duw
y duwiau y traetha efe bethau rhyfedd, ac a
lwydda nes diweddu'r digter: canys yr hyn
a ordeiniwyd, a fydd.
37 Nid ystyria efe dduw ei dadau, na
serch ar wragedd, ïe, nid ystyria un duw:
canys goruwch pawb yr ymfawryga.
38 ‡ Ac efe a anrhydedda DDUW § y

[e] Pen. 7. 8. a 8. 9.
[f] Pen. 8. 20, 25.
† Neu, *Yn heddychol y daw efe i leoedd brasaf y dalaith.*
[g] 1 Mac. 8. 23, &c.
‡ Heb. *A'r ddau frenhin hyn eu calon hwy a fydd,* &c.
[h] Adn. 29, 35, 40.
[i] Adn. 22. 1 Mac. 1. 44, &c.
[k] Pen. 8. 11, a 12. 11. 1 Mac. 1. 39, 41.
§ Neu *a barsynnu.*
‖ Neu, *Ac i droseddwyr y cyfammod y gana efe ragrithiaw: eithr,* &c.
† Neu, *i buro hwynt, ac i lanhâu ac i gannu,* &c.
[l] Pen. 12. 10.
[m] Adn. 29.
[n] Pen. 7. 8. a 8. 25.
‡ Neu, *Ac am y Duw Hollalluog yn ei orsedd yr anrhydedda: ïe, efe a anrhydedda Dduw nid adwaenai ei dadau ef, ag aur,* &c.
§ Neu, *yr ymddiffynfeydd.* Heb. *Mauzzim.*

nerthoedd yn ei le ef: ïe, duw yr hwn nid
adwaenai ei dadau a ogonedda efe, ag aur
ac ag arian, ac â meini gwerthfawr, ac â
phethau ‖ dymunol.
39 Fel hyn y gwna efe † yn yr ymddiffynfeydd cryfaf gyd â duw dieithr, yr
hwn a gydnebydd efe, ac a chwanega
ei ogoniant: ac a wna iddynt lywodraethu ar lawer, ac a ranna'r tir am
‡ werth.
40 Ac yn amser y diwedd yr ymgornia
brenhin y deau ag ef, a brenhin y gogledd
a ddaw fel corwŷnt yn ei erbyn ef, â
cherbydau, ac â marchogion, ac â llongau
lawer; ac efe a ddaw i'r tiroedd, ac a lifa,
ac a â trosodd.
41 Ac efe a ddaw § i'r [o] hyfryd-wlad, a
llawer *o wledydd* a syrthiant: ond y rhai
hyn a ddiangant o'i law ef, Edom, a Moab,
a phennaf meibion Ammon.
42 Ac efe ‖ a estyn ei law ar y gwledydd;
a gwlad yr Aipht ni bydd diangol.
43 Eithr efe a lywodraetha ar drysorau
aur ac arian, ac ar holl anwyl bethau'r
Aipht: y Libyaid hefyd a'r Ethiopiaid *fyddant* ar ei ol ef.
44 Eithr chwedlau o'r dwyrain ac o'r
gogledd a'i trallodant ef: ac efe a â allan
mewn llid mawr i ddifetha, ac i ddifrodi
llawer.
45 Ac efe a esyd bebyll ei lys rhwng y
moroedd, † ar [p] yr ‡ hyfryd fynydd sanctaidd: [q] etto efe a ddaw § hyd ei derfyn, ac
ni *bydd* cynnorthwywr iddo.

‖ Neu, *hyfryd.*
† Heb. *ynghadernidyr ymddiffynfeydd.*
‡ Neu, *elw.*
§ Neu, *i wlad harddwch, neu, addurn.*
[o] Adn. 16.
‖ Heb. *a estyn allan ei law.*
† Heb. *ar fynydd harddwch, neu, addurn sancteiddrwydd.*
[p] Psal. 48. 2. Adn. 16, 41.
‡ Neu, *hardd.*
[q] 1 Mac. 6. 8—16.
§ *i'w ddiwedd.*

## PEN. XII.

1 *Michael a wared Israel o'i flinderau.* 5 *Dangos yr amseroedd i Ddaniel.* Awst 26. B.

AC yn yr amser hwnnw y saif Michael 534.
y tywysog mawr, yr hwn sydd yn
sefyll dros feibion dy bobl: yna [a] y bydd
amser blinder, y cyfryw ni bu er pan yw
cenedl hyd yr amser hwnnw: ac yn yr
amser hwnnw y gwaredir dy holl bobl,
y rhai a gaffer yn ysgrifenedig yn [b] y
llyfr.
2 A llawer o'r rhai sydd yn cysgu yn
llwch y ddaear a ddeffroant, [c] rhai i fywyd
tragywyddol, a [d] rhai i warth *a* dirmyg tragywyddol.
3 [e] A'r † doethion [f] a ddisgleiriant fel
disgleirdeb y ffurfafen; a'r rhai a droant
lawer i gyfiawnder, a *fyddant* [g] fel y ser
byth yn dragywydd.
4 [h] Tithau, Daniel, [i] cau ar y geiriau,
a selia'r llyfr hyd amser y diwedd: llawer a gynniweirant, a gwybodaeth a amlhêir.
5 ¶ Yna myfi Daniel a edrychais, ac wele
ddau eraill yn sefyll, un o'r tu yma ar
fin yr afon, ac un *arall* o'r tu arall ar fin yr
afon.
6 Ac *un* a ddywedodd wrth yr hwn a
wisgasid â [k] lliain, yr hwn *ydoedd* ‡ ar
ddyfroedd yr afon, Pa hyd *fydd* hyd ddiwedd y rhyfeddodau hyn?
7 [l] Clywais hefyd y gwr a wisgasid â
lliain, yr hwn *ydoedd* ar ddyfroedd yr afon,
pan ddyrchafodd efe ei law ddehau a'i
aswy tu a'r nefoedd, ac y tyngodd i'r hwn
sydd yn byw yn dragywydd, [m] *y bydd* dros
amser, amserau, a § hanner: ac wedi darfod gwasgaru nerth y bobl sanctaidd, y
gorphenir hyn oll.

[a] Mat. 24. 21.
[b] Exod. 32. 32. Psal. 56. 8. Ezec. 13. 9. Luc 10. 20. Phil. 4. 3. Dat. 3. 5. a 13. 8.
[c] Mat. 25. 46. Ioan 5. 28, 29. Act. 24. 15.
[d] Esay 66. 24. Rhuf. 9. 21.
[e] Pen. 11. 33, 35.
† Neu, *athrawon.*
[f] Mat. 13. 43.
[g] 1 Cor. 15. 41.
[h] Pen. 8. 26.
Adn. 9.
[i] Dat. 10. 4. a 22. 10.
[k] Pen. 10. 5.
‡ Heb. *oddi ar.*
[l] Dat. 10. 5, 6.
[m] Pen. 7. 25. Dat. 12. 14. § Neu, *rhan.*

8 Yna y clywais, ond ni ddeallais: eithr
dywedais, O fy arglwydd, beth *fydd* diwedd
y *pethau* hyn?
9 Ac efe a ddywedodd, Dos, Daniel: ca-
[n] Adn. 4. nys caewyd *a* [n] seliwyd y geiriau hyd am-
ser y diwedd.
[o] Pen. 11. 35. Zech. 13. 9. 10 [o] Llawer a burir, ac a gennir, ac a
brofir; eithr y rhai drygionus a wnant ddry-
[p] Pen. 11. 33, 35. gioni: ac ni ddeall yr un o'r rhai drygionus;
ond [p] y rhai doethion a ddeallant.

11 Ac o'r amser y tynner ymaith [q] y gwas- [q] Pen. 8. 11.
tadol *aberth*, † ac y gosoder i fynu [r] y ffieidd- † Heb. *i ddodi*
dra ‡ anrheithiol, *y bydd* mil dau cant a deg *y ffieidd-*
a phedwar ugain o ddyddiau. *dra, &c.*
12 Gwyn ei fyd a ddisgwylio, ac a ddel [r] Pen. 11.
hyd y mil tri chant a phymtheg ar hugain o 31.
ddyddiau. ‡ Neu, *a*
13 Dos dithau hyd y diwedd: § canys *bair synnu.*
gorphwysi, a sefi yn dy ran yn niwedd y § Neu, *a*
dyddiau. *gorphwysi.*

# ¶ LLYFR HOSEA.

## PEN. I.

Awst 26. P. 1 *Hosea, er mwyn dangos barn Duw am but-*
*teindra ysprydol, yn cymmeryd Gomer yn*
*wraig; 4 ac yn cenhedlu Jezreel, 6 a Lo-*
*ruhamah, 8 a Lo-ammi. 10 Edfryd Ju-*
*dah ac Israel.*

Cyn GAIR yr ARGLWYDD yr hwn a ddaeth
Crist at Hosea, fab Beeri, yn nyddiau Uz-
cylch ziah, Jotham, Ahaz, *a* Hezeciah, brenhin-
785. oedd Judah, ac yn nyddiau Jeroboam fab
Joas, brenhin Israel.
2 Dechreu ymadrodd yr ARGLWYDD
trwy Hosea. Yr ARGLWYDD a ddywed-
[a] Felly Pen. 3. 1. odd wrth Hosea, [a] Dos, cymmer it' wraig
o odineb, a phlant *o* odineb: o herwydd
[b] Psal. 73. 27. Ezec. 23. 3, &c. [b] y mae'r wlad gan butteinio yn putteinio
oddi ar ol yr ARGLWYDD.
3 Ac efe a aeth ac a gymmerodd Gomer
merch Diblaim; ac hi a feichiogodd, ac a
ddug iddo ef fab.
4 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrtho,
Galw ei enw ef Jezreel: canys ar fyrder y
† Heb. *ymwelaf â gwaed.* † dialaf waed Jezreel ar dŷ Jehu, ac y gwnaf
i frenhiniaeth tŷ Israel ddarfod.
5 A'r dydd hwnnw y torraf fwa Israel
ynglynn Jezreel.
6 ¶ A hi a feichiogodd eilwaith, ac a es-
gorodd ar ferch. A dywedodd *yr Arglwydd*
‡ Sef, *heb gael trugaredd.* wrtho, Galw ei henw hi ‡ Lo-ruhamah:
am na 'chwanegaf drugarhâu wrth dŷ Israel;
§ Neu, *fel y cwbl-fyddaf iddynt.* § eithr dygaf hwynt ymaith yn llwyr.
7 Ac etto mi a drugarhâf wrth dŷ Judah,
ac a'u cadwaf hwynt trwy'r ARGLWYDD eu
[c] Zech. 4. 6. a 9. 10. DUW; ac [c] nid â bwa, nac â chleddyf, nac
â rhyfel, *nac* â meirch, nac â marchogion,
y cadwaf hwynt.
|| Sef, *nid fy mhobl i.* 8 ¶ A hi a ddiddyfnodd Lo-ruhamah, ac
a feichiogodd, ac a esgorodd ar fab.
[d] Gen. 32. 12. 9 A *DUW* a ddywedodd, Galw ei enw ef
|| Lo-ammi: canys nid *ydych* bobl i mi, ac
[e] Rhuf. 9. 25, 26. 1 Petr 2. 10. ni byddaf i chwithau *yn DDUW.*
10 ¶ Etto [d] bydd nifer meibion Israel fel
† Neu, *yn lle yr hyn a ddywed-pwyd wrthynt.* tywod y môr, yr hwn ni's mesurir, ac ni's
cyfrifir: a [e] bydd, † yn y man lle y dywed-
wyd wrthynt, Nid pobl i mi *ydych* chwi, y
dywedir *yno* wrthynt, Meibion y DUW byw
*ydych.*
[f] Esay 11. 13. Jer. 3. 18. Ezec. 34. 23. a 37. 16, 22. 11 [f] Yna meibion Judah a meibion Israel
a gesglir ynghŷd, a hwy a osodant iddynt
un pen; a denant i fynu o'r tir: canys mawr
*fydd* dydd Jezreel.

## PEN. II.

Awst 27. B. 1 *Delw-addoliaeth y bobl; 6 a barn Duw yn*
*eu herbyn hwy: 14 y mae yn addo cymmodi*
*â hwynt.*

Cylch DYWEDWCH wrth eich brodyr, † Ammi;
785. ac wrth eich chwiorydd, ‡ Ruhamah.
† Sef, *fy mhobl i.* 2 Dadleuwch â'ch mam, dadleuwch: ca-
‡ Sef, *yr hon a drugarhawyd wrthi.* nys [a] nid fy ngwraig *yw* hi, ac nid ei gwr
[a] Esay 50. 1.

hi *ydwyf* finnau: bwried hithau ymaith ei
[b] phutteindra o'i golwg, a'i godineb oddi [b] Ezec. 16. 25.
rhwng ei bronnau;
3 Rhag i mi ei diosg hi yn noeth-lym-
mun, a'i gosod fel y dydd [c] y ganed hi, a'i [c] Ezec. 16. 4.
gwneuthur fel anialwch, a'i gosod fel tir dif-
faeth, a'i lladd â syched.
4 Ac ar ei phlant ni chymmeraf drugar-
edd; am eu *bod* yn blant godineb.
5 Canys eu mam hwynt a butteiniodd;
gwaradwyddus y gwnaeth yr hon a'u hym-
ddûg hwynt: canys dywedodd hi, Af ar ol
fy ngharjadau, [d] y rhai sydd yn rhoi fy ma- [d] Jer. 44. 17.
ra a'm dwfr, fy ngwlan a'm llin, fy olew a'm Adn. 8, 12.
diodydd.
6 ¶ Am hynny wele, [e] mi a gauaf i fynu [e] Job 3. 23. a 19. 8.
dy ffordd di â drain, ac a furiaf fur, fel na Galar. 3. 7,
chaffo hi ei llwybrau. 9.
7 A hi a ddilyn ei chariadau, ond ni's
goddiwes hwynt; a hi a'u cais hwynt, ond
ni's caiff: yna y dywed, Af a dychwelaf at
fy ngwr cyntaf; canys gwell *oedd* arnaf fi
yna nag yr awr hon.
8 Ac ni wyddai hi mai myfi a roddais iddi
ŷd, a § gwin, ac olew, ac a amlheais ei har- § Heb. *gwin newydd.*
ian a'i haur, *y rhai* || a ddarparasant hwy i
Baal. || Neu, *a weithiasant yn Baal.*
9 Am hynny y dychwelaf, a chymmeraf
fy ŷd yn ei amser, a'm gwin yn ei dymmor;
a † dygaf ymaith fy ngwlan a'm llin a gud- † Neu, *goresgynaf.*
diai ei noethni hi.
10 A [f] mi a ddatguddiaf bellach ei ‡ bryn-
ti hi yngolwg ei chariadau; ac ni's gwared [f] Ezec. 16. 37. a 23. 29.
neb hi o'm llaw i.
11 Gwnaf hefyd i'w holl orfoledd hi, ei ‡ Neu, *hysgelerder,* neu, *hynfydrwydd.*
gwyliau, ei newydd-leuadau, a'i sabbothau,
a'i holl uchel-wyliau, beidio.
12 A mi a anrheithiaf ei gwinwŷdd hi a'i
ffigyswŷdd, [g] am y rhai y dywedodd, Dyma [g] Adn. 5.
fy ngwobrwyon y rhai a roddodd fy nghari-
adau i mi; ac [h] mi a'u gosodaf yn goedwig, [h] Psal. 80. 12, 13.
a bwystfilod y maes a'u difa hwynt. Esay 5. 5.
13 A mi a ymwelaf â hi am ddyddiau
Baalim, *yn* y rhai y llosgodd hi arogl-darth
iddynt, ac y gwisgodd ei chlust-fodrwyau
a'i thlysau, ac yr aeth ar ol ei chariadau, ac
yr anghofiodd fi, medd yr ARGLWYDD.
14 ¶ Am hynny wele, mi a'i denaf hi, ac
a'i dygaf i'r anialwch, ac a ddywedaf wrth
*fodd* ei chalon. [i] Jos. 7. 26.
15 A mi a roddaf iddi ei gwinllannoedd Esay 65. 10.
o'r fan honno, a [i] dyffryn Achor yn ddrws [k] Jer. 2. 7
gobaith; ac yno y cân hi, fel [k] yn nyddiau Ezec. 16. 22, 60.
ei hieuengctid, ac megis *yn* y dydd y daeth
hi i fynu o wlad yr Aipht. § Sef, *fy ngwr.*
16 Y dydd hwnnw, medd yr ARGLWYDD || Sef, *fy Arglwydd.*
y'm gelwi § Issi, ac ni'm gelwi mwyach
|| Baali. [l] Exod. 23. 13.
17 Canys [l] bwriaf enwau Baalim allan o'i
genau hi, ac ni's coffeir hwy mwyach wrth Jos. 23. 7. Psal. 16. 4.
eu henwau. Zech. 13. 2.

m Job 5. 23. 18 A'r dydd hwnnw y gwnaf [m] ammod
Esay 11. 6. drostynt ag anifeiliaid y maes, ac ag ehed-
Ezec. 34. 25. iaid y nefoedd, ac *ag* ymlusgiaid y ddaear;
[n] a'r bwa, a'r cleddyf, a'r rhyfel, a dorraf
n Psal. 46. 9. ymaith o'r ddaear, a gwnaf iddynt orwedd
Esay 2. 4. yn ddïogel.
Ezec. 39. 9. 19 A mi a'th ddyweddïaf â mi fy hun
Zech. 9. 10. yn dragywydd; ie, dyweddïaf di â mi fy
hun mewn cyfiawnder, ac mewn barn,
ac mewn tiriondeb, ac mewn trugareddau.
20 A dyweddïaf di â mi mewn ffyddlon-
o Jer. 31. 33, 34. deb; a [o] thi a adnabyddi 'r ARGLWYDD.
21 A'r dydd hwnnw [p] y gwrandawaf,
p Zech. 8. 12. medd yr ARGLWYDD, ar y nefoedd y
gwrandawaf; a hwythau a wrandawant ar y
ddaear;
22 A'r ddaear a wrendy ar yr ŷd, a'r
gwin, a'r olew; a hwythau a wrandawant ar
Jezreel.
q Jer. 31. 27. 23 A [q] mi a'i hauaf hi im' fy hun yn y
Zech. 10. 9. ddaear, ac a drugarhâf wrth yr hon ni chaw-
r Pen. 1. 10. sai drugaredd; ac [r] a ddywedaf wrth *y rhai*
Rhuf. 9. 26. nid *oedd* bobl im', Fy mhobl *wyt* ti; a hwy-
1 Petr 2. 10. thau a ddywedant, O fy NUW.

## PEN. III.

A hon nefyd. 1 *Trwy ianhâu godineb-wraig, 4 y dangosir anghyfannedd-dra Israel o flaen ei adferiad.*

Cylch 785. YNA 'r ARGLWYDD a ddywedodd wrthyf, [a] Dos etto, câr wraig (hoff
a Pen. 1. 2. gan *ei* chyfaill, a hithau wedi torri ei
phrïodas) yn ol cariad yr ARGLWYDD ar
feibion Israel, a hwythau yn edrych ar
ol duwiau dïeithr, ac yn hoffi costrelau
† Heb. grawnwin. † gwin.
2 A mi a'i prynais hi i mi er pymtheg o
‡ Heb. lethec. arian, ac *er* homer o haidd, a ‡ hanner ho-
mer o haidd:
b Deut. 21. 13. 3 A dywedais wrthi, [b] Aros am danaf
lawer o ddyddiau; na phutteinia, ac na
fydd i wr *arall:* a minnau *a fyddaf* felly i
tithau.
4 Canys llawer o ddyddiau 'r erys meib-
c Pen. 10. 3. ion Israel [c] heb frenhin, a heb dywysog, a
heb aberth, a heb § ddelw, a heb ephod, a
§ Heb. sefyll-beth. *heb* teraphim.
5 Wedi hynny y dychwel meibion Israel,
d Jer. 30. 9. ac y ceisiant yr ARGLWYDD eu Duw, a
Ezec. 34. 23. a 37. 22. [d] Dafydd eu brenhin; ac a barchant yr
e Esay 2. 2. ARGLWYDD a'i ddaioni yn [e] y dyddiau di-
Mich. 4. 1. weddaf.

## PEN. IV.

Awst 27. P. 1 *Barnedigaethau Duw yn erbyn pechodau 'r bobl, 6 a'r offeiriaid; 12 ac yn erbyn eu delw-addoliaeth hwy. 15 Annog Judah i gymmeryd rhybudd wrth ofidiau Israel.*

Cylch 780. MEIBION Israel, gwrandêwch air yr ARGLWYDD: canys [a] *y mae* cwyn
a Esay 1. 18. a 3. 13. rhwng yr ARGLWYDD a thrigolion y
Jer. 25. 31. wlad, am nad *oes* na gwirionedd, na thru-
Pen. 12. 2. garedd, na gwybodaeth o DDUW, yn y
Mich. 6. 2. wlad.
2 *Trwy* dyngu, a dywedyd celwydd, a
lladd celain, a lladratta, a thorri prïodas, y
maent yn torri allan, a gwaed a gyffwrdd â
gwaed.
b Jer. 4. 25. a 12. 4. 3 Am hynny [b] y galara 'r wlad, ac y
Seph. 1. 3. llesghâ oll sydd yn trigo ynddi, ynghŷd
â bwystfilod y maes, ac ehediaid y nef-
oedd; pysgod y môr hefyd a ddarfydd-
ant.
4 Er hynny nac ymrysoned, ac na che-
rydded neb eu gilydd: canys dy bobl
*sydd* megis rhai yn ymryson â'r offeir-
iad.
5 Am hynny ti a syrthi y dydd, a'r pro-
phwyd hefyd a syrth gyd â thi y nos, a mi
a † ddifethaf dy fam. † Heb. dorraf ymaith.
6 ¶ [c] Fy mhobl a ‡ ddifethir o eisiau gwy-
bodaeth: am it' ddïystyru gwybodaeth, c Esay 5. 13.
minnau a'th ddïystyraf dithau, fel na bydd-
ech offeiriad i mi; *ac* am it' anghofio cyf- ‡ Heb. dorrir ymaith.
raith dy DDUW, minnau a anghofiaf dy
blant dithau hefyd.
7 Fel yr amlhasant, felly y pechasant i'm
herbyn: *am hynny* [d] eu gogoniant a newid- d Phil. 3. 19.
iaf yn warth.
8 Bwytta y maent bechod fy mhobl, ac at
eu hanwiredd hwynt y maent yn dyrchafu
§ eu calon. § Heb. eu henaid.
9 A [e] bydd yr un fath, bobl ac offeiriad:
ac ymwelaf â hwynt am eu ffyrdd, a || thalaf e Esay 24. 2.
iddynt eu gweithredoedd.
10 [f] Bwyttânt, ac ni's diwellir; puttein- || Heb. dychwelaf.
iant, ac nid amlhânt; am iddynt beidio â f Lef. 26. 26.
disgwyl wrth yr ARGLWYDD.
11 Godineb, a gwin, a gwin newydd, a Mich. 6. 14.
ddwg y galon ymaith. Hag. 1. 6.
12 ¶ Fy mhobl a ofynant gyngor i'w
cyffion, a'u ffon a ddengys iddynt: canys
[g] yspryd godineb a'u cyfeiliornodd *hwynt*, a g Esay 44. 20.
phutteiniasant oddi wrth eu Duw. Pen. 5. 4.
13 [h] Ar bennau 'r mynyddoedd yr aberth- h Esay 1. 29. a 57.
ant, ac ar y bryniau y llosgant arogl-darth,
dan y dderwen, a'r boplysen, a'r llwyfen, 5, 7.
am *fod* yn dda eu cysgod: [i] am hynny y Ezec. 6. 13. a 20. 28.
putteinia eich merched chwi, a'ch gwragedd i Amos 7.
a dorrant brïodas. 17.
14 † Nid ymwelaf â'ch merched pan Rhuf. 1. 28.
butteiniont, nac â'ch gwragedd pan dor- † Neu, Onid ym-
ront brïodas: am fod y rhai hyn yn ym- welaf, &c.
ddidoli gyd â phutteiniaid, ac aberthasant
gyd â dihirogod; a'r bobl ni ddeallant, ‡ a ‡ Neu, a gospi.
dramgwyddant.
15 ¶ Er i ti, Israel, butteinio, *etto* na k Pen. 9. 15. a 10. 11.
phechel Judah: nac ewch i [k] Gilgal, nac Amos 4. 4.
ewch i fynu i [l] Beth-afen; ac [m] na [n] thyng- l 1 Bren. 12.
wch, Byw *yw* 'r ARGLWYDD. 29.
16 Fel anner anhywaith yr anhyweith- m Seph. 1. 5.
iodd Israel: yr ARGLWYDD yr awr n Amos 8.
hon a'u portha hwynt fel oen mewn 14.
ehangder.
17 Ephraim a ymgyssylltodd ag eilunod:
gâd iddo.
18 § Surodd eu dïod hwy; gan but- § Neu, Chwaith-
teinio y putteiniasant: [o] hoff yw, Moeswch, odd.
*trwy* gywilydd gan ei || llywodraethwŷr o Mich. 7. 3.
hi.
19 Y gwŷnt a'i rhwymodd hi yn ei ha- || Heb. tharian-
denydd, a [p] bydd arnynt gywilydd o her- nau.
wydd eu haberthau. p Jer. 2. 26.

## PEN. V.

Awst 28. B. 1 *Barnedigaethau Duw yn erbyn offeiriaid, a phobl, a thywysogion Israel, am eu hamryw bechodau, 15 nes iddynt edifarhâu.*

CLYWCH hyn, chwi offeiriaid; gwran- Cylch 780.
dêwch, tŷ Israel; a thŷ 'r brenhin,
rhoddwch glust: canys *y mae* barn tu ag at-
toch, am eich bod yn fagl ar Mispah, ac yn
rhwyd wedi ei lledu ar Tabor. † Neu,
2 Y rhai a wyrant i ladd a ant i'r dwfn, ac mi a'u
† er i mi eu ceryddu hwynt oll. ceryddais hwynt oll.
3 Myfi a adwaen Ephraim, ac nid yw ‡ Neu,
Israel guddiedig oddi wrthyf: canys yn Ni ddio-
awr ti Ephraim a butteiniaist, ac Israel a ddef eu gwaith
halogwyd. iddynt
4 ‡ Ni roddant eu gwaith ar droi at eu droi.

a Pen. 4. 12. Duw; am *fod* a yspryd godineb o'u mewn,
ac nid adnabuant yr ARGLWYDD.
b Pen. 7. 10. 5 A b balchder Israel a ddwg dystiolaeth
yn ei wyneb: am hynny Israel ac Ephraim
a syrthiant yn eu hanwiredd; Judah hefyd
a syrth gyd â hwynt.
c Diar. 1. 28. Esay 1. 15. Jer. 11. 11. Ezec. 8. 18. Mich. 3. 4. Ioan 7. 34. 6 c A'u defaid ac â'u gwartheg y deuant
i geisio'r ARGLWYDD; ond ni's cânt *ef*:
ciliodd efe oddi wrthynt.
7 Yn erbyn yr ARGLWYDD y buant an-
ffyddlon: canys cenhedlasant blant dieithr:
d Zech. 11. 8. d mis bellach a'u difa hwynt ynghŷd â'u
rhannau.
e Pen. 8. 1. 8 e Cenwch y corn yn Gibeah, yr ud-
gorn yn Ramah; bloeddiwch *yn* Beth-afen
ar dy ol di, Benjamin.
9 Ephraim fydd yn anrhaith yn nydd y
cerydd: ym mysg llwythau Israel y perais
wybod yr hyn fydd yn sicr.
f Deut. 19. 14. 10 Bu dywysogion Judah fel f symmud-
wŷr terfyn: *am hynny* y tywalltaf arnynt fy
llid fel dwfr.
† Neu, *pryf*. 11 Gorthrymmwyd Ephraim, drylliwyd
ef mewn barn, am iddo yn ewyllysgar fy-
ned ar ol y gorchymyn.
g Pen. 7. 11. a 12. 1. 12 Am hynny *y byddaf* fel gwyfyn i Eph-
‡ Neu, *at y brenhin a ddadleuai.* raim, ac fel † pydredd i dŷ Judah.
13 Pan welodd Ephraim ei lesgedd, a
Judah ei archoll; yna'r aeth Ephraim g at
h Galar. 3. 10. yr Assyriad, ac a hebryngodd ‡ at frenhin
Jareb: etto ni allai efe eich meddygin-
§ Heb. *byddant euog o'u.* iaethu, na'ch iachâu o'ch archoll.
14 Canys h mi *a fyddaf* i Ephraim fel
i Lef. 26. 40. Jer. 29. 12. Ezec. 6. 9. a 20. 43. a 36. 31. llew, ac i dŷ Judah fel cenaw llew: myfi a
'sglyfaethaf, ac a af ymaith; dygaf ymaith,
ac ni *bydd* a achubo.
15 ¶ Af *a* dychwelaf i'm lle, hyd oni
§ i chydnabyddont eu bai, a cheisio fy
k Psal. 78. 34. wyneb: k pan fyddo adfyd arnynt, y'm
bore-geisiant.

## PEN. VI.

A hon hefyd. 1 *Annog i edifeirwch.* 4 *Achwyn mor an-
hynaws ac mor annuwiol ydynt.*

Cylch 780.

DEUWCH, a dychwelwn at yr AR-
GLWYDD: canys a efe a'n drylliodd,
a Deut. 32. 39. 1 Sam. 2. 6. Job 5. 18. ac efe a'n hiachâ ni; efe a darawodd, ac efe
a'n meddyginiaetha ni.
b 1 Cor. 15. 4. 2 b Efe a'n bywhâ ni ar ol deuddydd, a'r
trydydd dydd y cyfyd ni i fynu, a byddwn
fyw ger ei fron ef.
c Psal. 72. 6. 3 Yna'r adnabyddwn, *os* dilynwn adna-
bod yr ARGLWYDD: ei fynediad a ddar-
d Job 29. 23. perir fel y bore; ac c efe a ddaw d fel
e Pen. 11. 8. gwlaw attom, fel y diweddar-wlaw *a'r*
cynhar-wlaw i'r ddaear.
† Neu, *daioni*, *neu, trugaredd.* 4 ¶ Beth a wnaf i ti, e Ephraim? beth a
wnaf i ti, Judah? eich † mwynder sydd yn
f Pen. 13. 3. ymado f fel cwmmwl y bore, ac fel gwlith
boreol.
‡ Neu, *fel y bydd ai dy farnedigaethau fel goleuni.* 5 Am hynny y tarewais *hwynt* trwy'r
prophwydi; lleddais hwynt â geiriau fy
ngenau: ‡ a'th farnedigaethau *sydd fel* go-
leuni yn myned allan.
g 1 Sam. 15. 22. Preg. 5. 1. Mat. 9. 13. a 12. 7. 6 Canys ewyllysiais g drugaredd, ac h nid
aberth; a gwybodaeth o DDUW, yn fwy nâ
phoeth-offrymmau.
7 A'r rhai hyn fel § dynion i a dorrasant
h Psal. 50. 8. Diar. 21. 3. Esay 1. 11. y cyfammod: yno y buant anffyddlon i'm
herbyn.
Job 31. 33. 8 k Dinas gweithredwŷr anwiredd *yw*
§ Neu, *Adda.* Gilead, || wedi ei halogi gan waed.
9 Ac fel y mae mintai o ladron yn disgwyl
gwr, *felly* l y mae cynnulleidfa'r offeiriaid

i Pen. 8. 1. k Pen. 12. 11. || Neu, *cyfarwydd*, neu, *cyfrwys am waed.* l Jer. 11. 9. Ezec. 22. 25.

yn lladd ar y ffordd † yn gyttûn: canys † Neu, *ac un ysgwydd*,
gwnaant ysgelerder. *neu, i Sichem.*
10 Gwelais yn nhŷ Israel beth erchyll:
yno *y mae* godineb Ephraim; halogwyd
Israel.
11 Gosododd hefyd gynhauaf i tithau,
Judah, a mi yn dychwelyd caethiwed fy
mhobl.

## PEN. VII.

1 *Argyoeddi amryw bechodau.* 11 *Digofaint* Awst 27. P.
*Duw yn erbyn y bobl am eu rhagrith.*

A Mi'n ewyllysio iachâu Israel, datguddi- Cylch 780.
wyd anwiredd Ephraim, a drygioni Sa-
maria: canys gwnant ffalsder; a'r lleidr a
ddaw i mewn, *a* mintai o yspeilwŷr a an-
rheithia oddi allan.
2 Ac nid ydynt yn † meddwl yn eu calon- † Heb.
nau fy mod i yn cofio eu holl ddrygioni *dywedyd*
hwynt: weithian eu gweithredoedd eu hun *wrth eu*
a'u hamgylchynodd; *y maent* ger bron fy *calonnau.*
wyneb.
3 Llawenhânt y brenhin â'u drygioni, a'r
tywysogion â'u celwyddau.
4 Pawb o honynt *sydd* yn torri priodas,
fel ffwrn wedi ei thwymno gan y pobydd,
‡ *yr hwn* a baid â § chodi wedi iddo dylino'r ‡ Neu,
toes, hyd oni byddo wedi ei lefeinio. *paid y cyfodydd.*
5 Yn niwrnod ein brenhin y tywysogion § Neu,
a'i gwnaethant yn glaf || â chostrelau *deffrôi.*
gwin: estynodd ei law gyd â gwatwar- || Neu,
wŷr. *a gwres gan win.*
6 Fel yr oeddynt yn cynllwyn, darparas-
ant eu calon fel ffwrn: eu pobydd a gwsg
ar hŷd y nos, y bore y llysg fel fflam
dân.
7 Pawb o honynt a wresogant fel y
ffwrn, ac a ysant eu barnwŷr: eu holl fren-
hinoedd a gwympasant, a heb *un* o honynt a Esay 64.
yn galw arnaf fi. 7.
8 Ephraim b a ymgymmysgodd â'r bobl- b Psal. 106.
oedd; Ephraim sydd *fel* teisen heb ei 35.
throi.
9 Estroniaid a fwyttânt ei gryfder, ac ni's
gŵyr efe: ymdaenodd penwynni ar hyd-
ddo, ac ni's gwybu efe.
10 Ac y mae c balchder Israel yn tystiol- c Pen. 5. 5.
aethu yn ei wyneb; ac er hyn oll ni
throant at yr ARGLWYDD eu DUW, ac
ni's ceisiant ef.
11 ¶ Ephraim *sydd* fel colommen ynfyd
heb galon; d galwant ar yr Aipht, ant i d Pen. 5.
Assyria. 13. a 12. 1.
12 Pan elont, taenaf fy rhwyd drostynt, Edrych
a thynnaf hwynt i lawr fel ehediaid y nef- 2 Bren. 15.
oedd: cospaf hwynt fel y clybu eu cyn- 19. a 17. 4.
nulleidfa hwynt.
13 Gwae hwynt; canys ffoisant oddi
wrthyf: † dinystr arnynt; o herwydd † Neu,
gwnaethant gamwedd i'm herbyn: er i mi *anrhaith.*
eu gwared hwynt, etto hwy a ddywedasant
gelwydd arnaf fi.
14 Ac e ni lefasant arnaf â'u calon, pan e Job 35.
udasant ar eu gwelyau: am ŷd a melus win 9, 10.
yr ymgasglant, ciliasant oddi wrthyf.
15 Er i mi ‡ rwymo *a* nerthu eu breich- ‡ Neu,
iau hwynt, etto meddyliasant ddrwg i mi. *geryddu.*
16 Dychwelasant, nid at y Goruchaf: y
maent f fel bwa twyllodrus: eu tywysogion f Psal. 78.
a syrthiant gan y cleddyf am g gynddaredd 57.
eu tafod. Dyma eu gwatwor hwynt yng- g Psal. 73.
wlâd yr Aipht. 9.

## PEN. VIII.

1, 12 *Bygwth dinystr am annuwioldeb y bobl,* Awst 27. B.
5 *a'u gau-dduwiaeth.*

Cylch 760.

AT † dy safn â'r a udgorn: b fel yr eryr *y daw* yn erbyn tŷ'r ARGLWYDD, am iddynt c droseddu fy nghyfammod, a phechu yn erbyn fy nghyfraith.

2 Israel a lefant arnaf, Fy NUW, nyni a'th adwaenom di.

3 Israel a fwriodd heibio ddaioni: y gelyn a'i herlid yntau.

4 Hwy a wnaethant frenhinoedd, ac nid trwof fi; gwnaethant dywysogion, ac ni's gwybûm: d o'u harian a'u haur y gwnaethant iddynt eu hun ddelwau, fel y torrer hwynt ymaith.

5 ¶ Samaria, dy lo a'*th* fwriodd heibio: fy nig a gynneuodd i'w herbyn; pa hŷd ni fedrant *ddilyn* diniweidrwydd?

6 Canys o Israel *y mae*, *y* saer a'i gwnaeth; am hynny nid *yw* efe DDUW: ond yn ddrylliau y bydd llo Samaria.

7 Canys e gwŷnt a hauasant, a chorwŷnt a fedant: ‡ corsen ni bydd iddo: y dywysen ni wna flawd: *ac* os gwna, dïeithriaid a'i llwnge.

8 Israel a lyngcwyd: bellach y byddant ym mysg y cenhedloedd f fel dodrefnyn heb hoffder ynddo.

9 Canys hwy a aethant i fynu i Assyria, yn asyn gwŷllt unig iddo ei hun: Ephraim g a gyflogodd gariadau.

10 Hefyd er iddynt gyflogi *rhai* ym mysg y cenhedloedd, yn awr h mi a'u casglaf hwynt: canys § tristânt ychydig, o herwydd baich i brenhin y tywysogion.

11 O herwydd amlhâu o Ephraim allorau i bechu, allorau fydd ganddo i bechu.

12 Mi a 'sgrifenais iddo bethau mawrion fy nghyfraith, *ac* fel dïeithr-beth y cyfrifwyd.

13 k ‖ *Yn lle* ebyrth fy offrymmau, cig a aberthant, ac a fwyttânt; yr ARGLWYDD nid yw foddlon iddynt: efe a gofia bellach eu hanwiredd, ac efe a ofwya eu pechodau; l dychwelant i'r Aipht.

14 Canys anghofiodd Israel m ei wneuthurwr, ac a adeiladodd demlau; a Judah a amlhaodd ddinasoedd caerog: ond myfi a anfonaf dân i'w ddinasoedd, ac efe a ysa ei balasau.

## PEN. IX.

*Cyfyngder a chaethiwed Israel am eu pechodau a'u gan-dduwiaeth.*

Cylch 760.

ISRAEL, na orfoledda gan lawenydd, fel pobloedd *eraill:* canys putteiniaist oddi wrth dy DDUW, a gwobrau a hoffaist † ar bob llawr-dyrnu ŷd.

2 Y llawr-dyrnu na'r ‡ gwin-wrŷf ni's portha hwynt, a'r gwin newydd a'i twylla hi.

3 Ni thrigant yngwlâd yr ARGLWYDD; ond b Ephraim a ddychwel i'r Aipht, ac c yn Assyria y bwyttânt *beth* aflan.

4 Nid offrymmant win i'r ARGLWYDD, a'u haberthau ni bydd melus ganddo; *byddant* iddynt fel bara galarwŷr: pawb a fwyttao o hono a halogir: o herwydd eu bara dros eu heneidiau ni ddaw i dŷ'r ARGLWYDD.

5 Beth a wnewch ar ddydd yr uchel-wyl, ac ar ddydd gwyl yr ARGLWYDD?

6 Canys wele, aethant ymaith gan § ddinystr; yr Aipht a'u casgl hwynt, Memphis a'u cladd hwynt: ‖ d danadl a oresgyn hyfryd-*leoedd* eu harian hwynt; drain *a dyf* yn eu pebyll.

7 Dyddiau i ymweled a ddaethant, dyddiau talu'r pwyth a ddaethant; Israel a

† Heb. *daflod dy enau.*
a Pen. 5. 8.
b Deut. 28. 49. Jer. 4. 13. Hab. 1. 8.
c Pen. 6. 7.
d Pen. 2. 8.
e Pen. 10. 12, 13.
‡ Neu, *Yd ar ei droed.*
f Jer. 22. 28. a 48. 38.
g Esay 30. 6. Ezec. 16. 33, 34.
h Pen. 10. 10.
§ Neu, *dechreuant ychydig.*
i Esay 10. 8. Dan. 2. 37.
Pen. 12. 11.
k Jer. 7. 21. Zech. 7. 6.
‖ Neu, *Yn ebyrth, &c.*
l Pen. 9. 3. a 11. 5.
m Esay 29. 23. Eph. 2. 10.
Awst 29. P.
a Jer. 44. 17.
† Neu, *ym mhob.*
‡ Neu, *gwinlestr.*
b Pen. 8. 13. a 11. 5.
c Ezec. 4. 13. Dan. 1. 8.
§ Neu, *anrhaith.*
‖ Neu, *eu harian a ddeisyfir, danadl a'u goresgyn.* Heb. *dymunad eu har. &c.*
d Esay 32. 13. a 34. 13. Pen. 10. 8.

gânt wybod *hyn:* y prophwyd *sydd* ffol, e ynfyd *yw*'r gwr ysprydol, am amlder dy anwiredd, a'r cas mawr.

8 f Gwyliedydd Ephraim *a fu* gyd â'm Duw; *aeth* y prophwyd yn fagl adarwr yn ei holl lwybrau, *ac* yn gasineb † yn nhŷ ei DDUW.

9 g Ymlygrasant yn ddwfn, megis h yn amser Gibeah: *am hynny* efe a goffa eu hanwiredd, efe a ymwêl â'u pechod.

10 Cefais Israel fel grawnwin yn yr anialwch: gwelais eich tadau megis i y ffrwyth cynharaf yn y ffigysbren yn ei dechreuad: *ond* hwy a aethant at k Baal-peor, l ymddidolasant at m y gwarth hwnnw; a bu *eu* ffieidd-dra fel y carasant.

11 *Am* Ephraim, eu gogoniant hwy a eheda fel aderyn; o'r enedigaeth, o'r groth, ac o'r beichiogi.

12 n Er iddynt fagu eu plant, gwnaf hwynt yn amddifaid o ddynion: a gwae hwynt, pan ymadawyf oddi wrthynt.

13 Ephraim, fel y gwelais o Tyrus, *a* blannwyd mewn hyfryd gyfannedd: etto Ephraim a ddwg ei blant allan at y lleiddiad.

14 Dyro iddynt, ARGLWYDD: beth a roddi? dyro iddynt p groth yn erthylu, a bronnau hyspion.

15 Eu holl ddrygioni q *sydd* yn Gilgal: canys yno y caseais hwynt: am ddrygioni eu gweithredoedd y bwriaf hwynt allan o'm tŷ; ni 'chwanegaf eu caru hwynt: r eu holl dywysogion *sydd* wrthryfelgar.

16 Ephraim a darawyd, eu gwraidd a wywodd, dwyn ffrwyth ni's gwnant: ac os cenhedlant, etto lladdaf ‡ anwyl-*blant* eu crothau.

17 Fy NUW a'u gwrthyd hwynt, am na wrandawsant arno ef: am hynny y byddant grwydraid ym mhlith y cenhedloedd.

## PEN. X.

*Argyoeddi Israel am eu pechodau a'u gan-dduwiaeth.*

† GWINWŶDDEN a wag *yw* Israel; efe a ddwg ffrwyth iddo ei hun: yn ol amlder ei ffrwyth b yr amlhaodd efe allorau; yn ol daioni ei dîr gwnaethant ‡ ddelwau teg.

2 § Eu calon a ymrannodd; yn awr y ceir hwy yn feius: efe a dyrr i lawr eu hallorau hwynt; efe a ‖ ddistrywia eu delwau.

3 Canys yr awr hon y dywedant, c Nid *oes* i ni frenhin, am nad ofnasom yr ARGLWYDD; a pheth a wnai brenhin i ni?

4 Dywedasant eiriau, gan dyngu anudon wrth wneuthur ammod; tarddodd barn d megis wermod yn rhychau'r meusydd.

5 Preswylwŷr Samaria a ofnant o herwydd lloiau Beth-afen; canys ei bobl a alara drosto, a'i † offeiriaid *y rhai* a lawenychant ynddo, o achos e ei ogoniant, am iddo ymadaw oddi wrtho ef.

6 *Hefyd* efe a ddygir i Assyria yn anrheg i f frenhin Jareb: Ephraim a dderbyn gywilydd, ac Israel a fydd cywilydd g gan-tho ei gyngor ei hun.

7 Samaria, ei brenhin a dorrir ymaith fel ewyn ar wyneb y dwfr.

8 *A* distrywir uchelfeydd Afen, h pechod Israel; i dring drain a mieri ar eu hallorau: a k dywedant wrth y mynyddoedd, Gor-

e Mich. 2. 11. Seph. 3. 4.
f Ezec. 3. 17.
† Neu, *yn erbyn tŷ, &c.*
g Esay 31. 6.
h Barn. 19. 16.
i Pen. 10. 9.
i Esay 28. 4. Mich. 7. 1.
k Num. 25. 3. Psal. 106. 28.
l Pen. 4. 14.
m Jer. 11. 13.
n Iob 27. 14.
o Edrych Ezec. 26, a 27, a 28.
p Luc 23. 29.
q Pen. 4. 15. a 12. 11.
r Esay 1. 23.
‡ Heb. *ddymunadau.*
Awst 30. B.
Cylch. 740.
† Neu, *Gwin-wydden yn gwagu ffrwyth a roddo.*
a Nah. 2. 2.
b Pen. 8. 11. a 12. 11.
‡ Heb. *sefyll-bethau.*
§ Neu, *Efe a rannodd eu calon hwynt.*
‖ Heb. *dorr fy-nygla.*
c Pen. 3. 4.
d Edrych Deut. 29. 18. Amos 6. 12. Act. 8. 23. Heb. 12. 15.
† Neu, *Chemarim.*
e 1 Sam. 4. 21, 22.

f Pen. 5. 13. g Pen. 11. 6. h Deut. 9. 21. i Pen. 9. 6. k Esay 2. 19. Luc 23. 30. Dat. 6. 16. a 9. 6.

chuddiwch ni; ac wrth y bryniau, Syrth-
iwch arnom.
l Pen. 9. 9. 9 O Israel, ti a bechaist er l dyddiau Gi-
beah: yno y safasant; a'r rhyfel yn Gi-
beah yn erbyn plant anwiredd ni oddiwed-
dodd hwynt.
10 Wrth fy ewyllys y cospaf hwynt: a
m Jer. 16. 16. m phobl a gesglir yn eu herbyn, † pan ym-
Pen. 8. 10. rwymont yn eu dwy gwys.
11 Ac Ephraim *sydd* anner wedi ei dysgu,
† Neu, *pan rwymwyf hwynt am eu dau drosedd, neu, yn eu dwy drigfa.* yn dda ganddi ddyrnu; a minnau a aethum
dros degwch ei gwddf hi: paraf i Ephraim
farchogaeth; Judah a ardd, *a* Jacob a lyfna
iddo.
12 n Heuwch iwch' mewn cyfiawnder,
medwch mewn trugaredd; o braenerwch
n Diar. 11. 18. iwch' fraenar: canys *y mae* 'n amser i geisio 'r
ARGLWYDD, hyd oni ddelo a gwlawio cy-
o Jer. 4. 3. fiawnder arnoch.
p Job 4. 8. 13 p Arddasoch iwch' ddrygioni, meda-
Diar. 22. 8. soch anwiredd, bwyttasoch ffrwyth cel-
Gal. 6. 7. wydd; am it' ymddiried yn dy ffordd dy
hun, yn lliosowgrwydd dy gedyrn.
14 Am hynny y cyfyd terfysg ym mysg
q 2 Bren. 18. 34. a 19. 13. dy bobl, a'th holl ymddiffynfeydd a ddiny-
strir, fel y darfu i Salman ddinystrio q Beth-
r Pen. 13. 16. arbel yn amser rhyfel; *lle* r y drylliwyd y
fam ar y plant.
‡ Heb. *am ddrygioni eich drygioni.* 15 Fel hynny y gwna Bethel i chwi, ‡ am
eich mawr-ddrwg: gan ddifetha y difethir
brenhin Israel ar fore-gwaith.

## PEN. XI.

Awst 30. P. 1 *Anniolchgarwch Israel i Dduw am ei ddon-*
*iau.* 5 *Eu barnedigaeth hwy;* 8 *a thru-*
*garedd Duw tu ag attynt.*

Cylch 740. PAN *oedd* Israel yn fachgen, mi a'i
cerais ef, ac a a elwais b fy mab o'r
a Mat. 2. 15. Aipht.
b Exod. 4. 22, 23. 2 *Fel* y galwent arnynt, felly hwythau
a aent o'u gŵydd hwy; aberthasant i Baa-
lim, llosgasant arogl-darth i ddelwau cer-
fiedig.
3 Myfi hefyd a ddysgais i Ephraim gerdd-
ed, gan eu cymmeryd erbyn eu breichiau;
ond ni chydnabuant mai myfi a'u meddyg-
iniaethodd hwynt.
4 Tynnais hwynt â rheffynnau dynol, â
rhwymau cariad; ac oeddwn iddynt megis
y rhai a godant yr iau ar eu bochgernau
hwynt; a bwriais attynt fwyd.
Cylch 728. 5 ¶ c Ni ddychwel efe i wlad yr Aipht;
ond yr Assyriad fydd ei frenhin, am iddynt
c Edrych Pen. 9. 3. wrthod troi.
6 A'r cleddyf a erys ar ei ddinasoedd ef,
d Pen. 10. 6. ac a dreulia ac a ysa ei geingciau ef, d am
eu cynghorion eu hun.
7 A'm pobl i sydd ar feddwl cilio oddi
wrthyf fi; er iddynt eu galw at y Goruchaf,
† Heb. *yngh[y]d ni ddyrchafodd.* † etto ni ddyrchafai neb *ef.*
8 e Pa fodd y'th roddaf ymaith, Eph-
e Pen. 6. 4. raim? y'th roddaf i fynu, Israel? pa fodd
f Gen. 14. 8. a 19. 24. y'th wnaf fel f Admah? *ac* y'th osodaf megis
Deut. 29. 23. Seboim? g trodd fy nghalon ynof, a'm he-
Amos 4. 11. difeirwch a gyd-gynneuwyd.
g Esay 63. 15. 9 Ni chyflawnaf an-gerdd fy llid, ni
Jer. 31. 20. ddychwelaf i ddinystrio Ephraim: h canys
h Num. 23. 19. Duw *ydwyf* fi, ac nid dyn; y Sanct yn dy
Mal. 3. 6. ganol di; ac nid af i mewn i'r ddinas.
i Joel 3. 16. 10 Ar ol yr ARGLWYDD yr ant; i efe a
Amos 1. 2. rua fel llew: pan ruo efe, yna meibion o'r
k Esay 60. 8. gorllewin a ddychrynant.
11 Dychrynant fel aderyn o'r Aipht, ac
k fel colommen o dir Assyria: a mi a'u
gosodaf hwynt yn eu tai, medd yr AR-
GLWYDD.

12 Ephraim a'm hamgylchynodd â chel-
wydd, a thŷ Israel â thwyll; ond y mae
Judah etto yn llywodraethu gyd â Duw, ‡ Neu, *sanct-*
ac yn ffyddlon gyd â'r ‡ saint. *eiddiolaf.*

## PEN. XII.

1 *Argyoeddi Ephraim, Judah, a Jacob.* 3 *Y* Awst 31. B.
*mae yn eu hannog i edifarhâu, o herwydd*
*y daioni a gawsent.* 7 *Pechodau Ephraim*
*yn cyffrôi Duw.*

EPHRAIM sydd yn ymborthi ar wŷnt, ac Cylch
yn dilyn gwŷnt y dwyrain: ar hŷd y 725.
dydd yr amlhaodd gelwydd a dinystr; a am- a Pen. 5.
mod a wnaethant â'r Assyriaid; *ac* b olew a 13. a 7. 11.
ddygwyd i'r Aipht. b Esay 30. 6. a 57. 9.
2 Ac *y mae* gan yr ARGLWYDD gŵyn c Gen. 25.
ar Judah; ac efe a ymwêl â Jacob yn ol ei 26.
ffyrdd; yn ol ei weithredoedd y tâl iddo 'r † Heb.
pwyth. *y bu dy-*
3 ¶ Yn y groth c y daliodd efe sawdl ei *wysog,*
frawd, ac yn ei nerth † d y cafodd allu gyd *neu, yr ymddûg*
â Duw. *yn dywysogaidd.*
4 Ië, cafodd nerth ar yr angel, a gorch- d Gen. 32.
fygodd; wylodd, ac ymbiliodd ag ef: e ca- 24, &c.
fodd ef *yn* Bethel, ac yno 'r ymddiddanodd e Gen. 28.
â ni; 12. a 35. 9,
5 Sef ARGLWYDD DDUW y lluoedd: f yr 10.
ARGLWYDD *yw* ei goffadwriaeth. f Exod. 3.
6 g Tro dithau at dy DDUW; cadw dru- 15.
garedd, a barn, a disgwyl wrth dy DDUW g Pen. 14.
bob amser. 1.
7 ¶ ‡ Marsiandwr *yw efe;* yn ei law ef ‡ Neu, *Canaan.*
*y mae* cloriannau twyll: da ganddo § or- § Neu,
thrymmu. *dwyllo.*
8 A dywedodd Ephraim, h Etto mi a h Zech. 11.
gyfoethogais, cefais im' olud; || ni chafwyd 5.
*yn* fy holl lafur anwiredd ynof, *a fyddai* || Neu,
bechod. *fy holl lafurian ni'm digonant: efe a gaiff gosp anwiredd yr hwn y mae pechod ynddo.*
9 A i mi, *yr hwn yw*'r ARGLWYDD dy
DDUW *a'th ddug* o dir yr Aipht, k a wnaf
it' drigo etto mewn pebyll, megis ar ddydd-
iau uchel-wyl.
10 Ymddiddenais trwy 'r prophwydi, a
mi a amlheais weledigaethau, ac a arferais i Pen. 13. 4.
gyffelybiaethau, trwy law 'r prophwydi. k Lef. 23.
11 *A oes* l anwiredd yn Gilead? yn ddïau 42, 43.
gwagedd ydynt; yn m Gilgal yr aberthant Zech. 14.
ychen: n eu hallorau *hefyd sydd* fel carn- 16.
eddau yn rhychau 'r meusydd. l Pen. 6. 8.
12 o Ffodd Jacob hefyd i wlad Syria, a m Pen. 4.
p gwasanaethodd Israel am wraig, ac am 15. a 9. 15.
wraig y cadwodd *ddefaid.* Amos 4. 4.
13 A q thrwy brophwyd y dug yr AR- a 5. 5.
GLWYDD Israel o'r Aipht, a thrwy bro- n Pen. 8. 11.
phwyd y cadwyd ef. a 10. 1.
14 Ephraim a'*i* cyffrôdd *ef* i ddig yng- o Gen. 28.
hŷd â chwerwedd; am hynny y gad efe 5.
ei waed ef arno, a'i Arglwydd a dâl iddo ei p Gen. 29.
waradwydd. 20, 28.
q Exod. 12. 50, 51.
a 13. 3. Psal. 77. 20. Esay 63. 11.

## PEN. XIII.

1 *Gogoniant Ephraim, o herwydd eu gau* Awst 31.
*dduwiaeth, yn diflannu.* 5 *Digofaint Duw* P.
*wrthynt am eu hangharedigrwydd hwy.* D. Merchur
9 *Addewid o drugaredd Duw.* 15 *Barn-* cyn y Pasg.
*edigaeth am anufudd-dod.* B.

PAN lefarodd Ephraim â dychryn, ym- Cylch
ddyrchafodd efe yn Israel; ond pan 725.
bechodd gyd â Baal y bu farw. a Pen. 2. 8.
2 Ac yr awr hon ychwanegasant bechu, a 8. 4.
ac a o'u harian y gwnaethant iddynt ddelw- † Neu, *a*
au tawdd, *ac* eilunod, yn ol eu deall eu *aberthant*
hun, y cwbl o waith y crefftwŷr, am y rhai *ddyn.*
y maent yn dywedyd, Y rhai † a aberthant, b Edrych
b cusanant y lloi. 1 Bren. 19. 18.

3 Am hynny y byddant [c] fel y bore-
gwmmwl, ac megis y gwlith yr ymedy
yn fore, [d] fel man-us a chwaler gan gor-
wŷnt allan o'r llawr-dyrnu, ac fel mŵg o'r
† ffumer.
4 Etto [e] myfi *yw*'r ARGLWYDD dy
DDUW, *a'th ddug di* o dir yr Aipht; ac ni
chai gydnabod DUW ond myfi: ac [f] nid *oes*
Iachawdwr ond myfi.
5 ¶ Mi a'th adnabûm yn y diffaethwch,
[g] yn nhir sychdwr mawr.
6 [h] Fel *yr oedd* eu porfa, y cawsant eu
gwala: cawsant eu gwala, a chodasant eu
calonnau; ac [i] anghofiasant fi.
7 Ond [k] mi a fyddaf fel llew iddynt;
megis [l] llewpard ar y ffordd y disgwyliaf
*hwynt*.
8 Cyfarfyddaf â hwynt [m] fel arth wedi
colli *ei chenawon*, rhwygaf orchudd eu calon
hwynt; ac yna fel llew y difaf hwynt:
bwystfil y maes a'u llarpia hwynt.
9 ¶ Oh Israel, tydi a'th ddinystriaist
dy hun; ond ynof fi *y mae* ‡ dy gym-
morth.
10 Dy frenhin fyddaf: [n] pa le *y mae arall*
a'th waredo di yn dy holl ddinasoedd? a'th
frawdwŷr, am y rhai y dywedaist, Dyro i
mi frenhin a thywysogion?
11 Rhoddais it' [o] frenhin yn fy nig, a dy-
gais *ef* ymaith yn fy llid.
12 [p] Rhwymwyd anwiredd Ephraim; cud-
diwyd ei bechod ef.
13 [q] Gofid un yn esgor a ddaw arno:
mab angall yw efe; canys ni ddylasai efe
sefyll § yn hir yn esgoreddfa'r plant.
14 [r] O law y bedd yr achubaf hwynt;
oddi wrth angau y gwaredaf hwynt: [s] byd-
daf ‖ angau i ti, O angau; byddaf drangc i
ti, y bedd: cuddir edifeirwch o'm golwg.
15 ¶ Er [t] ei fod yn ffrwythlon ym mysg
*ei* frodyr, daw [u] gwŷnt y dwyrain, gwŷnt
yr ARGLWYDD o'r anialwch a ddyr-
chafa, a'i ffynhonnell a sych, a'i ffynnon a
â yn hesp: efe a yspeilia drysor pob llestr
dymunol.
16 Diffaethir Samaria, am ei bod yn an-
ufudd i'w DUW: syrthiant ar y cleddyf:
[x] eu plant a ddryllir, a'u gwragedd beich-
iogion a rwygir.

[c] Pen. 6. 4. [d] Dan. 2. 35. † Neu, *ffenestr*. [e] Esay 43. 11. Pen. 12. 9. [f] Esay 43. 11. a 45. 21. [g] Deut. 8. 15. a 32. 10. [h] Deut. 32. 15. [i] Pen. 8. 14. [k] Galar. 3. 10. Pen. 5 14. [l] Jer. 5. 6. [m] 2 Sam. 17. 18. Diar. 17. 12. ‡ Heb. *yn dy gymmorth*. [n] Pen. 10. 3. [o] 1 Sam. 8. 5, &c. a 15. 22. a 26. 1. [p] Job 14. 17. [q] Esay 13. 8. Jer. 30. 6. § Heb. *amser*. [r] Esay 25. 8. [s] 1 Cor. 15. 54, 55. ‖ Neu, *blaau*. [t] Edrych Gen. 41. 52. a 48. 19. [u] Ezec. 17. 10. a 19. 12.
Cyflawnwyd cylch 721. [x] 2 Bren. 8. 12. Pen. 10. 14. Nah. 3. 10.

## PEN. XIV.

1 *Annog i edifeirwch.* 4 *Addewid o fendithion Duw.*

Medi 1. B. D. Merchur cyn y Pasg. P. Cylch 725.

[a] YMCHWEL, Israel, at yr ARGLWYDD
dy DDUW; canys ti a syrthiaist trwy
dy anwiredd.
2 Cymmerwch eiriau gyd â chwi, a dy-
chwelwch at yr ARGLWYDD: dywedwch
wrtho, Maddeu yr holl anwiredd; † derbyn
*ni* yn ddaionus: a thalwn it' [b] loi ein gwe-
fusau.
3 [c] Ni all Assur ein hachub ni; [d] ni farch-
ogwn ar feirch; ac ni ddywedwn mwy-
ach wrth waith ein dwylaw, O ein duwiau:
o herwydd ynot ti y caiff yr amddifad dru-
garedd.
4 ¶ Meddyginiaethaf eu hymchweliad
hwynt, caraf hwynt yn rhad: canys trodd
fy nig oddi wrtho.
5 Byddaf fel gwlith i Israel: efe a ‡ flo-
deua fel y lili, ac a § leda ei wraidd megis
Libanus.
6 Ei geingciau a ‖ gerddant, a bydd [e] ei
degwch fel yr olewŷdden, a'i arogl fel Li-
banus.
7 Y rhai a arhosant dan ei gysgod ef a
ddychwelant: adfywiant *fel* ŷd, † blodeuant
hefyd fel y winwŷdden: *bydd* ei ‡ goffad-
wriaeth fel gwin Libanus.
8 Ephraim *a ddywaid*, Beth *sydd* i mi
mwyach *a wnelwyf* ag eilunod? gwrandew-
ais, ac edrychais arno: myfi *sydd* fel ffynnid-
wŷdden îr; o honof fi y ceir dy ffrwyth
di.
9 [f] Pwy *sydd* ddoeth, ac efe a ddeall
hyn? *a* deallgar, ac efe a'i gwybydd?
canys [g] uniawn *yw* ffyrdd yr ARGLWYDD,
a'r rhai cyfiawn a rodiant ynddynt: ond
y troseddwŷr a dramgwyddant ynddynt.

[a] Pen. 12. 6. † Neu, *dyro ddaioni*. [b] Heb. 13. 15. [c] Pen. 5. 13. a 12. 1. [d] Psal. 33. 17. Esay 30. 1, 16. a 31. 1. ‡ Neu, *deurdda*. § Heb. *dery*. ‖ Neu, *ymuusgarant*. [e] Psal. 52. 8. Can. 4. 11. Eccl. 50. 10. † Neu, *tarddant*. ‡ Neu, *arogl*. [f] Psal. 107. 43. Jer. 9. 12. Dan. 12. 10. Eccl. 39. 27. [g] Diar. 10. 29. Luc 2. 34. 2 Cor. 2. 16.

# ¶ LLYFR JOEL.

## PEN. I.

1 *Joël yn datgan amryw farnedigaethau Duw; ac yn annog i ddal arnynt,* 8 *ac i alaru:* 14 *yn gosod ympryd i gwynfan.*

Medi 1. P. Cyn Crist cylch 800.

GAIR yr ARGLWYDD yr hwn a ddaeth
at Joël fab Pethuel.
2 Gwrandêwch hyn, chwi henuriaid; a
rhoddwch glust, holl drigolion y wlad: a
fu hyn yn eich dyddiau, neu yn nyddiau
eich tadau?
3 Mynegwch hyn i'ch plant, a'ch plant
i'w plant hwythau, a'u plant hwythau i gen-
hedlaeth arall.
4 Gweddill y lindys a fwyttaodd y ceiliog
rhedyn, a gweddill y ceiliog rhedyn a ddi-
faodd pryf y rhwd, a gweddill pryf y rhwd
a ysodd y locust.
5 Deffrôwch, feddwŷr, ac wylwch; ac ud-
wch, holl yfwŷr gwin, am y gwin newydd;
canys torrwyd ef oddi wrth eich min.
6 O herwydd [a] cenhedlaeth gref anifeir-
iol a ddaeth i fynu ar fy nhir; dannedd llew
*yw* ei dannedd, a chil-ddannedd hen lew
*sydd* iddi.
7 Gosododd fy ngwinwŷdden yn ddifrod,
a'm ffigysbren † a ddirisgliodd: gan ddi-
noethi dinoethodd hi, a thaflodd *hi* ymaith:
ei changau a wŷnasant.
8 ¶ Uda fel gwŷryf wedi ymwregysu
*mewn* sachliain am brïod ei hieuengctid.
9 Torrwyd oddi wrth dŷ'r ARGLWYDD
[b] yr offrwm bwyd, a'r offrwm diod: y
mae'r offeiriaid, gweinidogion yr AR-
GLWYDD, yn galaru.
10 Difrodwyd y maes, y ddaear a alara;
canys gwnaethpwyd difrod ar yr ŷd:
‡ sychodd y gwin newydd, llesgaodd yr
olew.
11 Cywilyddiwch, y llafurwŷr; udwch, y
gwinwŷddwŷr, am y gwenith, ac am yr
haidd: canys darfu am gynhaiaf y maes.
12 Gwywodd y winwŷdden, llesgaodd y
ffigysbren, y pren pomgranad, y balm-
wŷdden hefyd, a'r afallen, *a* holl bren-
iau'r maes a wywasant; am [c] wywo lla-
wenydd oddi wrth feibion dynion.
13 Ymwregyswch a griddfenwch, chwi
offeiriaid; udwch, weinidogion yr allor;
deuwch, weinidogion fy NUW, gorweddwch
ar hŷd y nos mewn sach-liain: canys attelir
oddi wrth dŷ eich DUW [d] yr offrwm bwyd,
a'r offrwm diod.

[a] Felly Diar. 30. 25, 26, 27. † Heb. *yn ddirisgliad*. [b] Adn. 13. Pen. 2. 14. ‡ Neu, *cywilyddiwdd*. [c] Jer. 48. 33. [d] Adn. 9.

14 ¶ [e] Cyssegrwch ympryd, gelwch [f] † gym-
manfa, cesglwch yr henuriaid, *a* holl dri-
golion y wlad, *i* dŷ 'r ARGLWYDD eich
Duw, a gwaeddwch ar yr ARGLWYDD;
15 [g] Och o'r diwrnod! canys [h] dydd yr
ARGLWYDD *sydd* yn agos, ac fel difrod oddi
wrth yr Hollalluog y daw.
16 Oni thorrwyd yngŵydd ‡ ein llygaid
ni oddi wrth dŷ ein Duw, y bwyd, [i] y
llawenydd, a'r digrifwch?
17 Pydrodd § yr hadau dan eu priddell-
au, yr ysguboriau a anrheithiwyd, yr ŷd-
lannau a fwriwyd i lawr; canys yr ŷd a
wywodd.
18 Oh o'r griddfan y mae 'r anifeiliaid!
y mae 'n gyfyng ar y minteioedd gwar-
theg, am nad *oes* borfa iddynt; y diadellau
defaid hefyd a anrheithiwyd.
19 Arnat ti, ARGLWYDD, y llefaf; canys
[k] y tân a ddifaodd ‖ borfeydd yr anialwch,
y fflam a oddeithiodd holl breniau 'r maes.
20 Anifeiliaid y maes hefyd sydd [l] yn brefu
arnat; canys sychodd y ffrydiau dwfr, a'r
tân a ysodd borfeydd yr anialwch.

[e] Pen. 2. 15. [f] Lef. 23. 36. † Neu, *ddydd gwaharddiad.* [g] Jer. 30. 7. [h] Esay 13. 6. ‡ *eich.* [i] Deut. 16. 11, 14, 15. § Heb. *y grawn.* [k] Pen. 2. 3. ‖ Neu, *drigfeydd.* [l] Psal. 104. 21.

## PEN. II.

1 *Y mae 'n dangos i Sion mor ofnadwy ydyw barnedigaethau Duw;* 12 *yn annog i edifeirwch;* 15 *yn gorchymyn ympryd,* 18 *ac yn addaw bendith arno.* 21 *Y mae 'n cysuro Sïon â bendithion presennol,* 28 *ac â rhai a ddeuai.*

Medi 2. B. Sul 20 ar ol y Drindod, B.

Cylch 800.

CENWCH yr udgorn yn Sïon, [a] bloedd-
iwch ar fynydd fy sancteiddrwydd:
dychryned holl breswylwŷr y wlad; canys
daeth [a] dydd yr ARGLWYDD, canys *y mae*
yn agos.
2 [b] Diwrnod tywyll du, diwrnod cym-
mylog a niwlog, fel y wawr wedi ymwas-
garu ar y mynyddoedd: [c] pobl fawr a
chryfion, [d] ni bu eu bath erioed, ac ni bydd
eilwaith ar eu hol, hyd flynyddoedd cen-
hedlaeth, a chenhedlaeth.
3 [e] O'u blaen y difa 'r tân, ac ar eu hol y
fflam; *mae*'r wlad o'u blaen fel [f] gardd bara-
dwys, ac ar eu hol yn ddiffaethwch anrheith-
iedig; a hefyd ni ddïangc dim ganddynt.
4 [g] Yr olwg arnynt *sydd* megis golwg o
feirch; ac fel marchogion, felly y rhedant
5 [h] Megis swn cerbydau ar bennau 'r
mynyddoedd y llammant, fel swn tân ysol
yn difa 'r sofl, *ac* fel pobl gryfion wedi
ymosod i ryfel.
6 O'u blaen yr ofna 'r [i] bobl, pob wyneb a
gasgl barddu.
7 Rhedant fel glewion, dringant y mur
fel rhyfelwŷr, a cherddant bob un yn ei
ffordd ei hun, ac ni wyrant oddi ar eu
llwybrau.
8 Ni wthiant y naill y llall; cerddant bob
un ei lwybr ei hun: ac er eu syrthio ar y
† cleddyf, nid archollir hwynt.
9 Gwibiant ar hŷd y ddinas; rhedant ar
y mur, dringant i'r tai; ant i mewn trwy 'r
ffenestri fel lleidr.
10 O'u blaen y cryn y ddaear, y nefoedd
a gynhyrfir; [k] yr haul a'r lleuad a dywyllir,
a'r ser a attaliant eu llewyrch.
11 A'r ARGLWYDD a rydd ei lef o flaen
ei lu: canys mawr iawn *yw* ei wersyll ef:
canys cryf *yw*'r hwn sydd yn gwneuthur
ei air ef: o herwydd [l] mawr *yw* dydd yr
ARGLWYDD, ac ofnadwy iawn; a phwy a'i
herys?
12 ¶ Ond yr awr hon medd yr AR-
GLWYDD, [m] Dychwelwch attaf fi â'ch holl
galon, ag ympryd hefyd, ac ag wylofain, ac
â galar.
13 A [n] rhwygwch eich calon, ac nid eich
dillad; ac ymchwelwch at yr ARGLWYDD
eich Duw: o herwydd [o] graslawn a thru-
garog *yw* efe, hwyrfrydig i ddigofaint, a
mawr ei drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg.
14 [p] Pwy a ŵyr a dry efe, ac edifarhâu,
a gweddill [q] bendith ar ei ol, *sef* [r] bwyd-
offrwm a diod-offrwm i'r ARGLWYDD eich
Duw?
15 ¶ [s] Cenwch udgorn yn Sïon, [t] cys-
segrwch ympryd, gelwch gymmanfa:
16 Cesglwch y bobl; [u] cyssegrwch y gyn-
nulleidfa: cynhullwch yr henuriaid; cesgl-
wch y plant, a'r rhai yn sugno bronnau:
[x] deued y priod-fab allan o'i 'stafell, a'r
briod-ferch allan o 'stafell ei gwely.
17 Wyled yr offeiriaid, gweinidogion yr
ARGLWYDD, [y] rhwng y porth a'r allor,
a dywedant, Arbed dy bobl, O AR-
GLWYDD, ac na ddyro dy etifeddiaeth
i warth; ‡ i lywodraethu o'r cenhedl-
oedd arnynt: [z] pa ham y dywedent ym
mhlith y bobloedd, Pa le *y mae* eu Duw
hwynt?
18 ¶ Yna'r ARGLWYDD a eiddigedda am
ei dir, ac a arbed ei bobl.
19 A'r ARGLWYDD a ettyb ac a ddywed
wrth ei bobl, Wele fi yn anfon i chwi ŷd, a
gwin, ac olew; a diwellir chwi o hono: ac
ni wnaf chwi mwyach yn waradwydd ym
mysg y cenhedloedd.
20 Eithr [a] bwriaf yn bell oddi wrthych
y gogledd-*lu*, a gyrraf ef i dir sych diffaeth,
â'i wyneb tu a môr y dwyrain, a'i ben ol
tu a'r môr eithaf: a'i ddrewi a gyfyd, a'i
ddrygsawr a â i fynu, am iddo § wneuthur
mawrhydri.
21 ¶ Nac ofna di, ddaear, gorfoledda a
llawenycha; canys yr ARGLWYDD a wna
fawredd.
22 Nac ofnwch, anifeiliaid y maes.
canys tarddu y mae [b] porfeydd yr anial-
wch; canys y pren a ddwg ei ffrwyth, y
ffigysbren a'r winwŷdden a roddant eu
cnwd.
23 Chwithau, plant Sïon, gorfoleddwch,
ac ymlawenhêwch yn yr ARGLWYDD eich
Duw: canys [c] efe a roddes i chwi [d] ‖ y
cynhar wlaw † yn gymhedrol, ac a wna i'r
cynhar-wlaw a'r diweddar-wlaw ddisgyn i
chwi yn y *mis* cyntaf.
24 A'r ysguboriau a lenwir o ŷd, a'r gwin
newydd a'r olew a â dros y llestri.
25 A mi a dalaf i chwi y blynyddoedd
[e] a ddifaodd y ceiliog rhedyn, pryf y rhwd,
a'r locust, a'r lindys, fy llu mawr i yr hwn
a anfonais yn eich plith.
26 Yna y bwyttêwch, gan fwytta ac ym-
ddigoni; ac y moliennwch enw 'r AR-
GLWYDD eich Duw, yr hwn a wnaeth â
chwi yn rhyfedd: ac ni waradwyddir fy
mhobl byth.
27 [f] A chewch wybod fy *mod* i ynghanol
Israel, ac *mai* myfi *yw* 'r ARGLWYDD eich
Duw, ac nid *neb* arall: a'm pobl ni's gwa-
radwyddir byth.
28 ¶ [g] A bydd ar ol hynny, [h] y tywalltaf
fy yspryd ar bob cnawd, a'ch meibion
a'ch merched a broffwydant, eich henur-
iaid a welant freuddwydion, eich gwŷr
ieuaingc a welant weledigaethau:
29 Ac ar y gweision hefyd ac ar y mor-
wynion y tywalltaf fy yspryd yn y dyddiau
hynny.

[a] Pen. 1. 15. Seph. 1. 14, 15. [b] Amos 5. 18. [c] Pen. 1. 6. Adn. 11, 25. [d] Exod. 10. 14. [e] Pen. 1. 19. [f] Gen. 2. 8. a 13. 10. [g] Dat. 9. 9. [h] Dat. 9. 9. [i] Nah. 2. 10. † Neu, *waywffon.* [k] Esay 13. 10. Ezec. 32. 7. Adn. 31. Pen. 3. 15. [l] Jer. 30. 7. Amos 5. 18. Seph. 1. 15. [m] Jer. 4. 1. [n] Psal. 51. 17. [o] Exod. 34. 6. Psal. 86. 5, 15. Jonah 4. 2. [p] Jos. 14. 12. 2 Sam. 12. 22. Amos 5. 15. Jonah 3. 9. Seph. 2. 3. [q] Esay 65. 8. [r] Pen. 1. 9. [s] Num. 10. 3. [t] Pen. 1. 14. [u] Exod. 19. 10, 22. [x] 1 Cor. 7. 5. [y] Ezec. 8. 16. Mat. 23. 35. ‡ Neu, *i'w gwatwar o'r cenhedloedd.* [z] Psal. 42. 10. a 79. 10. a 115. 2. Mich. 7. 10. [a] Edrych Exod. 10. 19. § Heb. *fawrygu gwneuthur.* [b] Zech. 8. 12. [c] Lef. 26. 4. Deut. 11. 14. [d] Iago 5. 7. ‖ Neu, *athraw cyfiawnder.* † Heb. *yn ol cyfiawnder.* [e] Pen. 1. 4. [f] Pen. 3. 17. [g] Esay 44. 3. Ezec. 39. 29. Act. 2. 17. [h] Zech. 12. 10. Ioan 7. 39.

30 A [i] gwnaf ryfeddodau yn y nefoedd;
ac yn y ddaear, gwaed, a thân, a cholofnau
mwg.
31 [k] Yr haul a droir yn dywyllwch, a'r
lleuad yn waed, o flaen dyfod mawr ac
ofnadwy ddydd yr ARGLWYDD.
32 A bydd, [l] yr achubir pob un a alwo ar
enw'r ARGLWYDD: canys [m] bydd ym-
wared, fel y dywedodd yr ARGLWYDD,
ym mynydd Sion, ac yn Jerusalem, ac yn y
gweddillion a alwo'r ARGLWYDD.

[i] Mat. 24. 29. Marc 13. 24. Luc 21. 25. [k] Adn. 10. Pen. 3. 15. Mat. 24. 29. Marc 13. 24. Luc 21. 25. [l] Rhuf. 10. 13. [m] Obad. 17.

## PEN. III.

Medi 2. P.

1 *Barnedigaethau Duw yn erbyn gelynion ei bobl:* 9 *ac y bydd rhaid ei adnabod ef yn ei farnedigaeth.* 18 *Ei fendithion ef ar yr eglwys.*

Cylch 800.

CANYS wele, yn y dyddiau hynny, ac yn
yr amser hwnnw, pan ddychwelwyf
gaethiwed Judah a Jerusalem,
2 Casglaf hefyd yr holl genhedloedd, a
dygaf hwynt i wared i ddyffryn Jehosaphat;
a dadleuaf â hwynt yno dros fy mhobl,
a'm hetifeddiaeth Israel, y rhai a wasgar-
asant hwy ym mysg y cenhedloedd, à rhan-
nasant fy nhir.
3 Ac ar fy mhobl y bwriasant goel-bren-
nau, a rhoddasant y bachgen er puttain, a
gwerthasant fachgennes er gwin, fel yr
yfent.
4 Tyrus hefyd a Sidon, a holl ardal-
oedd Palestina, beth sydd i chwi *a wneloch* â
mi? a delwch i mi y pwyth? ac os telwch
i mi, buan iawn y dychwelaf eich tâl ar eich
pen eich hunain.
5 Am i chwi gymmeryd fy arian a'm
haur, a dwyn i'ch temlau fy nhlysau † dy-
munol.
6 Gwerthasoch hefyd feibion Judah a
meibion Jerusalem i'r Groegiaid, i'w pell-
hâu oddi wrth eu hardaloedd.
7 Wele, mi a'u codaf hwynt o'r lle y
gwerthasoch hwynt iddo, ac a ddatroaf eich
tâl ar eich pen eich hunain.
8 A minnau a werthaf eich meibion a'ch
merched i law meibion Judah, a hwythau
a'u gwerthant i'r Sabeaid, i genedl o bell;
canys yr ARGLWYDD a lefarodd *hyn.*
9 ¶ [a] Cyhoeddwch hyn ym mysg y cen-
hedloedd, ‡ gosodwch ryfel, deffrôwch y
gwŷr cryfion, nesâed y gwŷr o ryfel, deuant
i fynu.
10 [b] Gyrrwch eich sychau yn gleddyfau,
a'ch § pladuriau yn wayw-ffyn: [c] dyweded
y llesg, Cryf *ydwyf.*
11 Ymgesglwch, a deuwch y cenhedloedd
o amgylch ogylch, ac ymgynhullwch: ‖ yno
disgyn, O ARGLWYDD, dy gedyrn.
12 Deffroed y cenhedloedd, a deuant i
fynu i ddyffryn Jehosaphat: o herwydd
yno'r eisteddaf i farnu'r holl genhedloedd o
amgylch.
13 [d] Rhowch i mewn y crymman; canys
addfedodd y cynhauaf: deuwch, ewch i
wared; o herwydd y gwryf a lanwodd, a'r
gwasg-gafnau a aethant trosodd, am amlhâu
eu drygioni hwynt.
14 Torfeydd, torfeydd *a fydd* ynglynn
† terfyniad: canys agos *yw* dydd yr AR-
GLWYDD ynglynn terfyniad.
15 [e] Yr haul a'r lloer a dywyllant, a'r ser
a attaliant eu llewyrch.
16 A'r ARGLWYDD [f] a rua o Sïon, ac a
rydd ei lef o Jerusalem; [g] y nefoedd hefyd
a'r ddaear a grynant: ond yr ARGLWYDD
*fydd* ‡ gobaith ei bobl, a chadernid meibion
Israel.
17 Felly [h] y cewch wybod mai myfi *yw*'r
ARGLWYDD eich DUW, yn trigo yn Sïon,
fy mynydd sanctaidd: yna y bydd Jerusa-
lem yn § sanctaidd, ac [i] nid â dïeithriaid
trwyddi mwyach.
18 ¶ [k] A'r dydd hwnnw y bydd i'r
mynyddoedd ddefnynnu melyswin, a'r bry-
niau a lifeiriant o laeth, a holl ffrydiau Ju-
dah a ‖ redant gan ddwfr, a [l] ffynnon a
ddaw allan o dŷ'r ARGLWYDD, ac a ddy-
frhâ ddyffryn Sittim.
19 [m] Yr Aipht a fydd anghyfannedd, ac
[n] Edom fydd anialwch anghyfanneddol,
am y traha *yn erbyn* meibion Judah, am
iddynt dywallt gwaed gwirion yn eu tir
hwynt.
20 Etto Judah a † drig byth, a Jerusalem
o genhedlaeth i genhedlaeth.
21 Canys glanhâf waed y rhai ni's glan-
heais: ‡ canys [o] yr ARGLWYDD sydd yn
trigo yn Sïon.

† Neu, *hyfryd.*

[a] Edrych Esay 8. 9, 10.

‡ Heb. *cyssegr-uch*, neu, *sancteidd-iwch.* [b] Esay 2. 4. Mich. 4. 3. § Neu, *crymman-au.* [c] Zech. 12. 8. ‖ Neu, *yno y dis-gyn yr Argl.* [d] Mat. 13. 39. Dat. 14. 15, 19. † Neu, *dryllïad*, neu, *dyrn-iad.* [e] Pen. 2. 10, 31. [f] Jer. 25. 30. Amos 1. 2. [g] Hag. 2. 6. ‡ Heb. *cyrchfa*, neu, *noddfa.* [h] Pen. 2. 27. § Heb. *sancteidd-rwydd.* [i] Esay 35. 8. Zech. 14. 21. Dat. 21. 27. [k] Amos 9. 13. ‖ Heb. *gerddant.* [l] Ezec. 47. 1. Zech. 14. 8. Dat. 22. 1. [m] Esay 19. 1. [n] Obad. 10. † Neu, *erys.* [o] Dat. 21. 3.

‡ Neu, *ie, myfi yr Arglwydd, yr hwn sydd*, &c.

---

# ¶ LLYFR AMOS.

## PEN. I.

Medi 3. B.

1 *Amos yn dangos barnedigaethau Duw ar Syria,* 6 *ac ar y Philistiaid,* 9 *ac ar Tyrus,* 11 *ac ar Edom,* 13 *ac ar Ammon.*

Cyn Crist 787.

GEIRIAU Amos ([a] yr hwn oedd ym mysg
bugeiliaid Tecoa) y rhai a welodd efe
am Israel, [b] yn nyddiau Uzzïah brenhin
Judah, ac yn nyddiau Jeroboam fab Joas
brenhin Israel, ddwy flynedd o flaen y
[c] ddaear-gryn.
2 Ac efe a ddywedodd, [d] Yr ARGLWYDD
a rua o Sïon, ac a rydd ei lef o Jerusalem;
a chyfanneddau y bugeiliaid a alarant, a
phen Carmel a wywa.
3 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
O herwydd tair o anwireddau [e] Damas-
cus, ac o herwydd pedair, ni's † troaf ym-
aith ei *chosp* hi; am iddynt [f] ddyrnu Gi-
lead ag offer dyrnu o heiyrn.
4 Ond [g] anfonaf dân i dŷ Hazael, ac efe
a ddifa balasau Benhadad.
5 Dryllïaf drosol Damascus, a thorraf
ymaith y preswylwŷr o ‡ ddyffryn Afen,
a'r hwn sy'n dal teyrn-wialen § o dŷ
Eden; a [h] phobl Syria a ant yn gaeth i
Cir, medd yr ARGLWYDD.
6 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
Am dair o anwireddau [i] Gaza, ac am be-
dair, ni throaf ymaith ei *chosp* hi; am
iddynt gaethgludo ‖ 'r gaethiwed gyflawn,
i'w rhoddi i fynu i Edom.
7 Eithr anfonaf dân ar fur Gaza, ac efe a
ddifa ei phalasau hi.
8 A mi a dorraf y preswylwŷr o Asdod,

[a] Pen. 7. 14. [b] Hos. 1. 1. [c] Zech. 14. 5. [d] Jer. 25. 30. Joel 3. 16. [e] Esay 8. 4. a 17. 1. Jer. 49. 23. Zech. 9. 1. adn. 6, &c.

[f] 2 Bren. 13. 7. [g] Jer. 17. 27. a 49. 27. Adn. 7, 10, 12. Pen. 2. 2, 5. ‡ Neu, *Bicath-afen.* § Neu, *o Beth-eden.* [h] Cyflawnwyd 2 Bren. 16. 9. [i] 2 Chron. 28. 18. Esay 14. 29. Jer. 47. 4, 5. Ezec. 25. 15. Seph. 2. 4. 2 Chron 21. 16, 17. Joel 3. 6.

† Neu, *dychwelaf*, neu, *llonyddaf ef.* Felly adn. 6, &c.

‖ Neu, *â chwethiwed gyflawn.*

a'r hwn a ddeil deyrn-wïalen o Ascelon; a throaf fy llaw yn erbyn Ecron, a derfydd am weddill y Philistiaid, medd yr ARGLWYDD DDUW.

9 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Am dair o anwireddau [k] Tyrus, ac am bedair, ni throaf ymaith ei *chosp* hi; o herwydd iddynt hwy roddi i fynu gwbl o'r gaethiwed i Edom, ac na chofiasant † y cyfammod brawdol.

10 Eithr anfonaf dân i fur Tyrus, ac efe a ddifa ei phalasau hi.

11 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Am dair o anwireddau [l] Edom, ac am bedair, ni throaf ymaith ei *chosp* hi; am iddo erlid [m] ei frawd â'r cleddyf, a ‡ llygru ei drugaredd, a bod ei ddig yn rhwygo yn wastadol, a'i fod yn cadw ei lid yn dragywyddol.

12 Eithr [n] anfonaf dân i Teman, yr hwn a ddifa balasau Bosrah.

13 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Am dair o anwireddau [o] meibion Ammon, ac am bedair, ni throaf ymaith ei *chosp* hi; am iddynt hwy rwygo § gwragedd beichiogion Gilead, er mwyn helaethu eu terfynau.

14 Eithr cynneuaf dân ym mur [p] Rabbah, ac efe a ddifa ei phalasau gyd â gwaedd ar ddydd y rhyfel, gyd â thymmestl ar ddydd corwŷnt.

15 [q] A'u brenhin a â yn gaeth, efe a'i benaethiaid ynghŷd, medd yr ARGLWYDD.

k Esay 23. 1. Jer. 47. 4. Ezec. 26, a 27, a 28. Joel 3. 4, 5.
† Heb. *gyfammod brodyr.*
2 Sam. 5. 11. 2 Bren. 5. 1. a 9. 13.
l Esay 21. 11. a 34. 5. Jer. 49. 7. Ezec. 25. 12. Joel 3. 19. Obad. 1. Mal. 1. 3.
m Gen. 27. 40. Deut. 23. 7.
‡ Neu, *bwrw ymaith bob tosturi.*
n Obad. 9, 10.
o Jer. 49. 1. Ezec. 25. 2. Seph. 2. 9.
§ Neu, *mynyddoedd Gilead.*
p Deut. 3. 11. 2 Sam. 12. 26.
q Jer. 49. 3.

## PEN. II.

Medi 3. P.

1 *Digofaint Duw yn erbyn Moab,* 4 *ac ar Judah,* 6 *ac ar Israel.* 9 *Duw yn achwyn rhag eu hannïolchgarwch hwy.*

787.

FEL hyn y dywed yr ARGLWYDD; Am dair o anwireddau [a] Moab, ac am bedair, ni throaf ymaith ei *chosp* hi; am iddo [b] losgi esgyrn brenhin Edom yn galch.

2 Eithr anfonaf dân i Moab, yr hwn a ddifa balasau Cerioth: a Moab fydd marw mewn terfysg, gwaeddi, *a* llais udgorn.

3 A mi a dorraf ymaith [c] y barnwr o'i chanol hi, a'i holl bendefigion a laddaf gyd ag ef, medd yr ARGLWYDD.

4 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Am dair o anwireddau Judah, ac am bedair, ni throaf ymaith ei *chosp* hi; am iddynt ddirmygu cyfraith yr ARGLWYDD, ac na's cadwasant ei ddeddfau ef, a'u celwyddau a'u cyfeiliornodd hwynt, y rhai 'r aeth eu tadau ar eu hol.

5 Eithr anfonaf dân i Judah, ac efe a ddifa balasoedd Jerusalem.

6 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Am dair o anwireddau Israel, ac am bedair, ni throaf ymaith ei *chosp* hi; am iddynt [d] werthu'r cyfiawn am arian, a'r tlawd er pâr o esgidiau.

7 Y rhai a ddyheuant ar ol llwch y ddaear ar ben y tlodion, ac a wyrant ffordd y gostyngedig: a gwr a'i dad a â at yr *un* llangces, i halogi fy enw sanctaidd.

8 Ac ar ddillad [e] wedi eu rhoi yngwystl y gorweddant wrth bob allor; a gwin † y dirwyol a yfant *yn* nhŷ eu duw.

9 ¶ Etto [f] myfi a ddinystriais yr Amoriad o'u blaen hwynt, [g] yr hwn *yr oedd* ei uchder fel uchder y cedrwŷdd, ac efe *oedd* gryf fel derw; etto [h] mi a ddinystriais ei ffrwythau oddi arnodd, a'i wraidd oddi tanodd.

10 [i] Myfi hefyd a'ch dygais chwi i fynu o wlad yr Aipht, ac a'ch arweiniais chwi ddeugain mlynedd trwy 'r anialwch, i feddiannu gwlad yr Amoriad.

11 A mi a gyfodais o'ch meibion chwi *rai* yn brophwydi, ac o'ch gwŷr ieuaingc rai [k] yn Nazareaid. Oni *bu* hyn, O meibion Israel? medd yr ARGLWYDD.

12 Ond chwi a roisoch i'r Nazareaid win i'w yfed; ac [l] a orchymynasoch i'ch prophwydi, gan ddywedyd, Na phrophwydwch.

13 Wele ‡ fi wedi fy llethu tanoch fel y llethir y fenn lawn o ysgubau.

14 [m] A metha gan y buan ddïangc, a'r cryf ni chadarnhâ ei rym, a'r cadarn ni wared ei § enaid ei hun:

15 Ni saif a ddalio'r bwa, ni ddïangc y buan o draed, nid achub marchog march ei einioes ei hun;

16 A'r cryfaf ei galon o'r cedyrn a ffŷ y dwthwn hwnnw yn noeth-lymmun, medd yr ARGLWYDD.

a Esay 15. Jer. 48. Ezec. 25. 8. Seph. 2. 8.
b 2 Bren. 3. 27.
c Num. 24. 17.
d Pen. 8. 6.
e Exod. 22. 26.
† Neu, *y rhai a gondemniwyd.*
f Num. 21. 24. Deut. 2. 31. Jos. 24. 8.
g Num. 13. 28, 32, 33.
h Esay 5. 24. Mal. 4. 1.
i Exod. 12. 51.
k Num. 6. 2.
l Esay 30. 10. Jer. 11. 21. Pen. 7. 12, 13. Mich. 2. 6.
‡ Neu, *gwasgaf eich lle chwi fel y gwasg menn lawn o ysgubau.*
m Pen. 9. 1, &c.
§ Neu, *einioes.*

## PEN. III.

1 *Mor angenrhaid yw barnedigaethau Duw yn erbyn Israel:* 9 *cyhoeddi hynny, a'i achos hefyd.* Medi 4. B.

787.

GWRANDÊWCH y gair a lefarodd yr ARGLWYDD i'ch erbyn chwi, plant Israel, yn erbyn yr holl deulu a ddygais i i fynu o wlad yr Aipht, gan ddywedyd,

2 [a] Chwi yn unig a adnabûm o holl deuluoedd y ddaear: [b] am hynny ymwelaf â chwi *am* eich holl anwireddau.

3 A rodia dau ynghŷd, heb fod yn gytûn?

4 A rua'r llew yn y goedwig, heb ganddo ysglyfaeth? † a leisia cenaw llew o'i ffau, heb ddal dim?

5 A syrth yr aderyn yn y fagl ar y ddaear, heb *fod* croglath iddo? a gyfyd *un* y fagl oddi ar y ddaear, heb ddal dim?

6 A genir udgorn yn y ddinas, heb ‡ ddychrynu o'r bobl? [c] a fydd niweid yn y ddinas, § heb i'r ARGLWYDD ei wneuthur?

7 Canys ni wna 'r ARGLWYDD ddim, [d] a'r na's dangoso ei gyfrinach i'w weision y prophwydi.

8 Rhuodd y llew, pwy nid ofna? yr Arglwydd JOR a lefarodd, [e] pwy ni phrophwyda?

9 ¶ Cyhoeddwch o fewn y palasau yn Asdod, ac yn y palasau yngwlâd yr Aipht, a dywedwch, Deuwch ynghŷd ar fynyddoedd Samaria, a gwelwch derfysgoedd lawer o'i mewn, a'r gorthrymmedigion yn ei chanol hi.

10 Canys ni fedrant wneuthur uniondeb, medd yr ARGLWYDD: pentyrru y maent drais ac || yspail yn eu palasau.

11 Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW; Gelyn *fydd* o amgylch y tir; ac efe a dynn i lawr dy nerth oddi wrthyt a'th balasoedd a yspeilir.

12 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Fel yr achub y bugail o safn y llew ddwy goes, neu ddarn o glust; felly 'r achubir meibion Israel y rhai sydd yn trigo yn Samaria mewn cwrr gwely, † ac yn Damascus *mewn* gorweddle.

a Deut. 7. 6. a 10. 15.
b Edrych Mat. 11. 22. Luc 12. 47. Rhuf. 2. 9. 1 Petr 4. 17.
† Heb. *a rydd y cenaw llew ei lais?*
‡ Neu, *redeg o'r bobl ynghyd?*
c Esay 45. 7.
§ Neu, *ac oni wna'r Arglwydd ryw beth?*
d Gen. 6. 13. a 18. 17. Psal. 25. 14. Ioan 15. 15.
e Act. 4. 20. a 5. 20, 29.
|| Neu, *anrhaith.*
† Neu, *ac yn nhraed y gwely*

13 Gwrandêwch, a thystiolaethwch yn
nhŷ Jacob, medd yr ARGLWYDD DDUW,
Duw y lluoedd,
* Neu, ymwelaf Israel am anwiredd. 14 Mai y dydd * yr ymwelaf ag anwiredd
Israel arno ef, y gofwyaf hefyd allorau Beth-
el: a chyrn yr allor a dorrir, ac a syrthiant
f Barn. 3. 20. i'r llawr.
Jer. 36. 22. 15 A mi a darawaf f y gauafdy a'r haf-
g 1 Bren. 22. 39. dy; a derfydd am g y tai ifori, a bydd di-
ben ar y teiau mawrion, medd yr AR-
GLWYDD.

## PEN. IV.

Medi 4. P. 1 *Y mae'n ceryddu Israel am eu trais,* 4 *a'u*
*delw-addoliaeth,* 6 *ac am nad oeddynt yn*
*gwellhâu wrth eu ceryddu.*

787. GWRANDÊWCH y gair hwn, a gwar-
a Psal. 22. 12. Ezec. 39. 18. theg Basan, y rhai *ydych* ym mynydd
Samaria, y rhai ydych yn gorthrymmu'r
tlawd, yn ysigo'r anghenog, yn dywedyd
wrth eu meistraid, Dygwch, ac yfwn.
2 Tyngodd yr Arglwydd DDUW i'w
sancteiddrwydd, y daw, wele, y dyddiau
b Jer. 16. 16. arnoch, y dwg efe chwi ymaith b â drain,
Hab. 1. 15. a'ch hiliogaeth â bachau pysgotta.
c Ezec. 12. 5, 12. 3 A c chwi a ewch allan i'r adwyau, bob
un ar ei chyfer, a chwi † a'u teflwch hwynt
† Neu, a deflwch ymaith bethau'r palas. i'r palas, medd yr ARGLWYDD.
4 ¶ Deuwch i Bethel, a throseddwch;
d i Gilgal, a throseddwch fwyfwy: dygwch
bob bore eich aberthau, *a'ch* degymmau
d Hos. 4. 15. a 12. 11. Pen. 5. 5. wedi tair blynedd *o ddyddiau;*
5 e ‡ Ac offrymmwch o surdoes *aberth*
diolch, cyhoeddwch *a* hyspyswch aberthau
e Lef. 7. 13. gwirfodd: canys § hyn a hoffwch, meibion
‡ Heb. A llosg-aberthwch. Israel, medd yr ARGLWYDD DDUW.
6 ¶ A rhoddais iwch' lendid dannedd
§ Heb. felly yr hoffach. yn eich holl ddinasoedd, ac eisiau bara yn
eich holl leoedd: etto ni ddychwelasoch
attaf fi, medd yr ARGLWYDD.
7 Myfi hefyd a atteliais y gwlaw rhagoch,
pan *oedd* etto dri mis hyd y cynhauaf
gwlawiais hefyd ar un ddinas, ac ni wlaw-
iais ar ddinas arall: un rhan a gafodd wlaw;
a'r rhan ni chafodd wlaw a wywodd.
8 Gwibiodd dwy ddinas *neu* dair i un
ddinas, i yfed dwfr: ond ni's diwallwyd:
etto ni ddychwelasoch attaf fi, medd yr AR-
GLWYDD.
f Deut. 28. 22. 9 f Tarewais chwi â diflanniad, ac â
Hag. 2. 17. mallder: ‖ pan amlhaodd eich gerddi, a'ch
‖ Neu, amlder eich gerddi, &c. a ysodd y lindys. gwinllannoedd, a'ch ffigyswŷdd, a'ch olew-
wŷdd, g y lindys a'u hysodd: etto ni throi-
soch attaf fi, medd yr ARGLWYDD.
10 Anfonais yr haint yn eich mysg, megis
† yn ffordd yr Aipht: eich gwŷr ieuainge a
g Joel 1. 4. a 2. 25. leddais â'r cleddyf, gyd â ‡ chaethgludo
eich meirch; a chodais ddrewi eich gwer-
† Neu, ar ddull. syllcedd i'ch ffroenau: etto ni throisoch at-
‡ Heb. chaeth-glud. taf fi, medd yr ARGLWYDD.
11 Mi a ddymchwelais *rai* o honoch, fel
h Gen. 19. 24, 25. yr ymchwelodd Duw h Sodom a Gomor-
Esay 13. 19. rah; i ac yr oeddech fel pentewyn wedi ei
Jer. 49. 18. achub o'r gynneu dân: etto ni throisoch at-
i Zech. 3. 2. taf fi, medd yr ARGLWYDD.
k Edrych Ezec. 13. 5. a 22. 30. Luc 14. 31, 32. 12 O herwydd hynny yn y modd yma y
gwnaf i ti, Israel: *ac* o herwydd mai hyn
a wnaf i ti, k bydd barod, Israel, i gyfarfod
â'th DDUW.
13 Canys wele, lluniwr y mynyddoedd,
§ Neu, yr yspryd. a chreawdr § y gwynt, yr hwn a fynega i
l Pen. 5. 8. ddyn beth *yw* ei feddwl, ac l a wna y bore
m Deut. 32. 13. a 33. 29. Mich. 1. 3. yn dywyllwch, ac m a gerdd ar uchelder-
au'r ddaear, yr ARGLWYDD, DUW'r llu-
oedd *yw* ei enw.

## PEN. V.

1 *Cwynfan dros Israel.* 4 *Annog i edifeirwch.* Medi 5. B.
21 *Duw yn gwrthod eu rhagrithiol wasa-*
*naeth hwy.*

GWRANDÊWCH y gair hwn a godaf 787.
i'ch erbyn, *sef* galarnad, O dŷ Israel.
2 Y wyryf Israel a syrthiodd; ni chyfyd
mwy: gadawyd hi ar ei thir; nid *oes* a'i
cyfyd.
3 Canys y modd hyn y dywed yr AR-
GLWYDD DDUW; Y ddinas a aeth allan *â*
mil a weddill gant; a'r hon a aeth allan *ar*
ei chanfed a weddill ddeg i dŷ Israel.
4 ¶ O herwydd fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD wrth dŷ Israel; Ceisiwch fi, a byw
fyddwch.
5 Ond nac ymgeisiwch â a Bethel, ac nac a Pen. 4. 4.
ewch i Gilgal, ac na thramwywch i b Beer- b Pen. 8.
seba: o herwydd gan gaeth-gludo y caeth- 14.
gludir Gilgal, a c Bethel a fydd yn ddi- c Hos. 4.
ddym. 15. a 10. 8.
6 Ceisiwch yr ARGLWYDD, a byw fydd-
wch; rhag iddo dorri allan yn nhŷ Joseph
fel tân, a'i ddifa, ac na *byddo* a'i diffoddo
yn Bethel.
7 Y rhai d a drowch farn yn wermod, ac d Pen. 6.
a adêwch gyfiawnder ar y llawr, 12.
8 *Ceisiwch yr hwn* a wnaeth e y saith seren, e Job 9. 9.
ac Orion, ac a dry gysgod angau yn fore- a 38. 31.
ddydd, ac f a dywylla'r dydd yn nos; yr f Pen. 4. 13.
hwn g a eilw ddyfroedd y môr, ac a'u ty- g Pen. 9. 6.
walit ar wyneb y ddaear: Yr ARGLWYDD
*yw* ei Enw:
9 Yr hwn sydd yn nerthu'r † anrheith- † Heb. *anrhaith.*
iedig yn erbyn y cryf, fel y delo'r anrheith-
iedig yn erbyn yr ymddiffynfa.
10 h Cas ganddynt a geryddo yn y porth, h Esay 29.
a ffiaidd ganddynt a lefaro yn berffaith. 21.
11 O herwydd hynny am iwch' sathru'r
tlawd, a dwyn y beichiau gwenith oddi ar-
no; i chwi a adeiladasoch dai o gerrig nadd, i Deut. 28.
ond ni thrigwch ynddynt; plannasoch win- 38, 39
llannoedd ‡ hyfryd, ac nid yfwch eu gwin Seph. 1. 13. Hag. 1. 6.
hwynt. ‡ Heb.
12 Canys mi a adwaen eich anwireddau *dymun-*
lawer, a'ch pechodau cryfion: y maent yn *iant.*
blino'r cyfiawn, yn cymmeryd § iawn, ac § Neu,
yn troi heibio'r tlawd yn y porth. *gwobr.*
13 Am hynny k y neb a fyddo call a k Pen. 6.
ostega'r amser hwnnw: canys amser drwg 10.
*yw.*
14 Ceisiwch ddaioni, ac nid drygioni; fel
y byddoch fyw: ac felly'r ARGLWYDD,
Duw y lluoedd, fydd gyd â chwi, fel y dy-
wedasoch.
15 l Casêwch ddrygioni, a hoffwch dda- l Psal. 34.
ioni, a gosodwch farn yn y porth: m fe 14. a 97. 10.
allai y bydd ARGLWYDD DDUW'r lluoedd Rhuf. 12. 9. m Exod. 32.
yn raslawn i weddill Joseph. 30.
16 Am hynny fel hyn y dywed yr AR- Joel 2. 14.
GLWYDD, Duw'r lluoedd, yr ARGLWYDD;
Ym mhob heol *y bydd* cwynfan, ac ym
mhob prif-ffordd y dywedant, Oh! oh! a
galwant yr arddwr i alaru; n a'r neb a fedro n Jer. 9. 17.
alaru, i gwynfan.
17 Ac ym mhob gwinllan *y bydd* cwyn-
fan: canys o tramwyaf trwy dy ganol di, o Exod. 12.
medd yr ARGLWYDD. 12.
18 p Gwae'r neb sydd yn dymuno dydd p Esay 5.
yr ARGLWYDD: beth *yw* hwnnw i chwi? 19.
tywyllwch, ac nid goleuni, *yw* dydd yr AR- Jer. 17. 15.
GLWYDD. a 30. 7. Joel 2. 2.
19 q Megis pe ffoai gwr rhag llew, ac arth Seph. 1. 15. 2 Petr 3. 4.
yn cyfarfod ag ef; a myned i'r tŷ, a q Jer. 48.
phwyso ei law ar y pared, a'i frathu o 44.
sarph,

20 Oni *bydd* dydd yr ARGLWYDD yn
dywyllwch, ac nid yn oleuni? yn dywyll
iawn, ac heb lewyrch ynddo?
21 ¶ [r] Caseais a ffieiddiais eich gwyliau,
ac [s] nid aroglaf † yn eich cymmanfaoedd.
22 Canys er i chwi offrymmu i mi boeth-
offrymmau, a'ch offrymmau bwyd, ni fyddaf
foddlon *iddynt*; ac nid edrychaf ar ‡ hedd-
offrwm eich pasgedigion.
23 Symmud oddi wrthyf drwst dy gan-
iadau: canys ni wrandawaf beroriaeth dy
nablau.
24 Ond § rheded barn fel dyfroedd, a
chyfiawnder fel ffrwd gref.
25 [t] A offrymmasoch chwi i mi aberthau
a bwyd offrymmau yn y diffaethwch ddeu-
gain mlynedd, tŷ Israel?
26 Ond dygasoch || babell eich Moloch
a Chïwn, eich delwau, seren eich duw, a
wnaethoch iwch' eich hunain.
27 Am hynny y caeth-gludaf chwi i'r tu
hwnt i Ddamascus, medd yr ARGLWYDD;
Duw y lluoedd *yw* ei enw.

r Esay 1. 11. Jer. 6. 20.
s Lef. 26. 31.
† Neu, *eich uchel-wyliau.*
‡ Neu, *offrwm diolch.*
§ Heb. *ymdreigl-io.*
t Act. 7. 42. Edrych Esay 43. 23.
|| Siccun'h *eich brenhin.*

## PEN. VI.

1 *Y cospir nwyfiant Israel 7 ag angnyfan-*
*neddrwydd.* 12 *Mor anhawdd ganddynt*
*wellhâu.*

GWAE'r rhai † esmwyth arnynt yn
Sïon, ac sydd yn ymddiried ym my-
nydd Samaria, y rhai a enwir [b] yn ‡ bennaf
o'r cenhedloedd, y rhai y daeth tŷ Israel
attynt.
2 [c] Tramwywch i [d] Chalneh, ac edrych-
wch, ac ewch oddi yno i Hemath fwyaf;
yna disgynwch i [e] Gath y Philistiaid: ai
gwell *ydynt* nâ'r teyrnasoedd hyn? ai he-
laethach eu terfyn hwy nâ'ch terfyn chwi?
3 Y rhai ydych [f] yn pellhâu'r dydd
[g] drwg, ac yn nesâu [h] § eisteddle trais;
4 Gorwedd y maent ar welyau ifori, ac
|| ymestyn ar eu glythau, a bwytta'r ŵyn
o'r praidd, a'r lloi o ganol y cut;
5 [i] Y rhai a † ddatganant gyd â llais y
nabl; dychymygasant iddynt eu hun offer
cerdd, [k] megis Dafydd;
6 Y rhai a yfant ‡ win mewn phïolau,
ac a ymirant â'r ennaint pennaf; ond nid
ymofidiant am ddryllio Joseph.
7 ¶ Am hynny'r awr hon hwy a ddygir
yn gaeth gyd â'r cyntaf a ddygir yn gaeth; a
gwledd y rhai a ymestynant, a symmudir.
8 [l] Tyngodd yr ARGLWYDD DDUW
iddo ei hun, Ffiaidd gennyf odidowgrwydd
Jacob, a chaseais ei balasau: am hynny
y rhoddaf i fynu'r ddinas § ac sydd
ynddi, medd ARGLWYDD DDUW'r llu-
oedd.
9 A bydd os gweddillir mewn un tŷ ddeg
o ddynion, y byddant feirw.
10 Ei ewythr a'i cyfyd i fynu, a'r hwn
a'i llysg, i ddwyn yr esgyrn allan o'r tŷ,
ac a ddywed wrth yr hwn a fyddo wrth
ystlysau'r tŷ, *A oes* etto *neb* gyd â thi?
ac efe a ddywed, Nac *oes*: yna y dywed
yntau, [m] Taw; am na *wasanaetha* cofio
enw'r ARGLWYDD.
11 O herwydd wele'r ARGLWYDD yn
gorchymyn, ac efe a dery'r tŷ mawr || ag
agennau, a'r tŷ bychan â holltau.
12 ¶ A red meirch ar y graig? a ardd
*neb hi* ag ychen? canys [n] troisoch farn yn
fustl, a ffrwyth cyfiawnder yn wermod.
13 O chwi y rhai sy'n llawenychu mewn
peth diddym, yn dywedyd, Onid o'n nerth
ein hun y cymmerasom i ni † grym?

Medi 5. P.
787.
a Luc 6. 24.
† Neu, *diofal*, neu, *dyrau.*
b Exod. 19. 5.
‡ Neu, *blaen-ffrwyth y cen.*
c Nah. 3. 8.
d Esay 10. 9.
e 2 Chron. 26. 6.
f Ezec. 12. 27.
g Pen. 5. 18.
h Psal. 94. 20.
§ Neu, *trigle.*
|| Neu, *anllâu mewn gor-modedd.*
i Esay 5. 12.
† Neu, *bynciant.*
k 1 Chron. 23. 5.
‡ Neu, *mewn phiolau gwin.*
l Jer. 51. 14. Heb. 6. 13, 17.
§ Heb. *a'i chyflawnder.*
m Pen. 5. 13. a 8. 3.
|| Neu, *â defni.*
n Hos. 10. 4. Pen. 5. 7.
† Heb. *gyrn.*

14 Ond wele, mi a gyfodaf i'ch erbyn
chwi, tŷ Israel, medd ARGLWYDD DDUW'r
lluoedd, genedl; a hwy a'ch cystuddiant
chwi, o'r ffordd yr ewch i Hemath, hyd
‡ afon y diffaethwch.

‡ Neu, *ddyffryn.*

## PEN. VII.

1 *Troi heibio farnedigaethau'r ceiliogod rhe-*
*dyn, 4 a'r tân, trwy weddi Amos. 7 Trwy*
*weledigaeth y fur a llinyn mesur, y dangosir*
*gwrthodiad Israel. 10 Amaziah yn achwyn*
*ar Amos. 14 Amos yn dangos ei alwedigaeth*
*ei hun, 16 a barnedigaeth Amaziah.*

FEL hyn y dangosodd yr ARGLWYDD i
mi: ac wele ef yn ffurfio † ceiliogod
rhedyn pan ddechreuodd yr adladd godi;
ac wele, adladd wedi lladd *gwair* y brenhin
*oedd.*
2 A phan ddarfu iddynt fwytta glaswellt
y tir, yna y dywedais, Arbed, ARGLWYDD,
attolwg: ‡ pwy a gyfyd Jacob? canys by-
chan *yw.*
3 [a] Edifarhaodd yr ARGLWYDD am hyn:
Ni bydd hyn, eb yr ARGLWYDD.
4 ¶ Fel hyn y dangosodd yr ARGLWYDD
DDUW i mi: ac wele'r ARGLWYDD DDUW
yn galw i § farn trwy dân; a difaodd *y tân*
y dyfnder mawr, ac a ysodd beth.
5 Yna y dywedais, ARGLWYDD DDUW,
paid, attolwg: pwy a gyfyd Jacob? canys
bychan *yw.*
6 Edifarhaodd yr ARGLWYDD am hyn:
Ni bydd hyn chwaith, eb yr ARGLWYDD
DDUW.
7 ¶ Fel hyn y dangosodd efe i mi: ac
wele'r ARGLWYDD yn sefyll ar gaer *a*
*wnaethpwyd* wrth linyn, ac yn ei law
linyn.
8 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrthyf
Beth a weli di, Amos? a mi a ddywedais,
Llinyn: a'r ARGLWYDD a ddywedodd,
Wele, [b] gosodaf linyn ynghanol fy mhobl
Israel, *ac* [c] ni 'chwanegaf fyned heibio
iddynt mwyach.
9 Uchelfeydd Isaac hefyd a wneir yn
anghyfannedd, a chyssegrau Israel a ddi-
fethir; a [d] mi a gyfodaf yn erbyn tŷ Jero-
boam â'r cleddyf.
10 ¶ Yna Amazïah [e] offeiriad Bethel a
anfonodd at [f] Jeroboam frenhin Israel, gan
ddywedyd, Cyd-fwriadodd Amos i'th erbyn
ynghanol tŷ Israel: ni ddichon y tir ddwyn
ei holl eiriau ef.
11 Canys fel hyn y dywed Amos, Jero-
boam a fydd farw trwy'r cleddyf, ac
Israel a gaeth-gludir yn llwyr allan o'i
wlad.
12 Dywedodd Amazïah hefyd wrth Amos,
Ti weledydd, dos, ffo ymaith i wlad Judah;
a bwytta fara yno, a phrophwyda yno.
13 [g] Na 'chwanega brophwydo yn Bethel
mwy: canys || cappel y brenhin † a llys y
brenhin *yw.*
14 ¶ Yna Amos a attebodd ac a ddy-
wedodd wrth Amazïah, Nid prophwyd
*oeddwn* i, ac nid [h] mab i brophwyd *oeddwn*
i; namyn [i] bugail *oeddwn* i, a chasglydd
‡ ffigys gwylltion:
15 A'r ARGLWYDD a'm cymmerodd oddi
ar ol y praidd, a'r ARGLWYDD a ddywed-
odd wrthyf, Dos, *a* phrophwyda i'm pobl
Israel.
16 ¶ Yr awr hon gan hynny gwrando
air yr ARGLWYDD; ti a ddywedi, Na phro-
phwyda yn erbyn Israel, ac [k] § nac yngan
yn erbyn tŷ Isaac.

Medi 6. B.
787.
† Neu, *gloes-bryfed.*
‡ Neu, *trwy bwy y cyfyd Jacob?* neu, *pwy o (neu, tros) Jacob a gyfyd?*
a Jonah 3. 10.
§ Neu, *gynnen.*
b Edrych 2 Bren. 21. 13. Esay 34. 11. Galar. 2. 8.
c Pen. 8. 2.
d Cyflawnwyd 2 Bren. 15. 10.
e 1 Bren. 12. 32.
f 2 Bren. 14. 23.
g Pen. 2. 12.
|| Neu, *cyssegr.*
† Heb. *tŷ y frenhiniaeth yw.*
h 1 Bren. 20. 35.
i Pen. 1. 1.
‡ Neu, *ffrwyth y sycamorwydd.*
k Ezec. 21. 2.
§ Heb. *na ddefnynna air.*

17 [l] Am hynny fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; [m] Dy wraig a butteinia yn y ddinas, dy feibion a'th ferched a syrthiant gan y cleddyf, a'th dir a rennir wrth linyn; a thithau a fyddi farw mewn tir halogedig, a chan gaeth-gludo y caeth-gludir Israel allan o'i wlad.

## PEN. VIII.

Medi 6. P.

1 *Wrth gawell o ffrwythydd haf, y dangosir mor agos yw diwedd Israel.* 4 *Argyoeddi trais a thraha.* 11 *Byguth newyn gair Duw.*

787.

FEL hyn y dangosodd yr ARGLWYDD i mi; ac wele, gawellaid o ffrwythydd haf.

2 Ac efe a ddywedodd, Beth a weli di, Amos? a mi a ddywedais, Cawellaid o ffrwythydd haf: yna y dywedodd yr ARGLWYDD wrthyf, Daeth y diwedd ar fy mhobl Israel; [a] nid af heibio iddynt mwyach.

3 Caniadau 'r deml hefyd † a droir yn udo ar y dydd hwnnw, medd yr ARGLWYDD DDUW: llawer o gelaneddau *a fydd* ym mhob lle; bwrir *hwynt* allan [b] ‡ yn ddistaw.

4 ¶ Gwrandêwch hyn, y sawl ydych [c] yn llyngcu 'r anghenog, i ddifa tlodion y tir,

5 Gan ddywedyd, Pa bryd yr â'r § mis heibio, fel y gwerthom ŷd? a'r [d] sabboth, fel ‖ y dygom allan y gwenith, [e] gan brinhau 'r ephah, a helaethu 'r sicl, † ac anghyfiawnu 'r cloriannau trwy dwyll?

6 I [f] brynu 'r tlawd er arian, a'r anghenus er pâr o esgidiau, ac i werthu gwehilion y gwenith?

7 Tyngodd yr ARGLWYDD i [g] ragorfraint Jacob, Diau nid anghofiaf byth yr un o'u gweithredoedd hwynt.

8 Oni chryn y ddaear am hyn? ac [h] oni alara ei holl breswylwŷr? cyfyd hefyd i gyd fel llif; a bwrir hi ymaith a hi a foddir, megis *gan* afon yr Aipht.

791.

9 A'r dydd hwnnw, medd yr ARGLWYDD DDUW, y gwnaf i'r [i] haul fachludo hanner dydd, a thywyllaf y ddaear *liw* dydd goleu.

10 Trof hefyd eich gwyliau yn alar, a'ch holl ganiadau yn oernad; [k] dygaf sachlïain ar yr holl lwynau, a moelni ar bob pen: a [l] mi a'i gwnaf fel galar *am* unmab, a'i ddiwedd fel dydd chwerw.

11 ¶ Wele, y mae 'r dyddiau 'n dyfod, medd yr ARGLWYDD DDUW, yr anfonaf newyn i'r tir; nid newyn am fara, ac nid syched am ddwfr, ond [m] am wrando geiriau 'r ARGLWYDD.

12 A hwy a grwydrant o for i for, ac a wibiant o'r gogledd hyd y dwyrain, i geisio gair yr ARGLWYDD, ac ni's cânt.

13 Y diwrnod hwnnw y gwŷryfon glân a'r meibion ieuaingc a ddiffoddant o syched.

14 Y rhai [n] a dyngant i [o] bechod Samaria, ac a ddywedant, Byw *yw* dy dduw di, O Dan; a byw yw [p] ffordd [q] Beerseba; hwy a syrthiant, ac ni chodant mwy.

a Pen. 7. 8. † Heb. *a udant.* b Pen. 6. 10. ‡ Heb. *distawa.* c Diar. 30. 14. § Neu, *newydd-loer.* d Neh. 13. 15, 16. ‖ Heb. *yr agorom.* e Mich. 6. 10. † Heb. *a gwyro cloriannau twyll?* f Pen. 2. 6. g Pen. 6. 8. h Pen. 9. 5. i Job 5. 14. … 59. … 15. 9. … 15. … 37. … 7. 18. … 6. 26. … 12. … Sam … 74. 9. … Hos. 4. … Deut. 9. … 13. … 5.

## PEN. IX.

1 *Mor sicr fydd y dinystr.* 11 *Adferu tabernacl Dafydd.* Medi 7. B.

787.

GWELAIS yr ARGLWYDD yn sefyll ar yr allor: ac efe a ddywedodd, Taro gapan y drws, fel y siglo 'r gorsingau; † a thor hwynt oll yn y pen; minnau a laddaf y rhai olaf o honynt â'r cleddyf: [a] ni ffy ymaith o honynt a ffo, ac ni ddianc o honynt a ddiango.

2 [b] Pe cloddient hyd uffern, fy llaw a'u tynnai hwynt oddi yno; a [c] phe dringent i'r nefoedd, mi a'u disgynnwn hwynt oddi yno:

3 A phe llechent ar ben Carmel, chwiliwn a chymmerwn hwynt oddi yno; a phe ymguddient o'm golwg yngwaelod y môr, oddi yno y gorchymynaf i'r sarph eu brathu hwynt:

4 Ac os ant i gaethiwed o flaen eu gelynion, [d] oddi yno y gorchymynaf i'r cleddyf, ac efe a'u lladd hwynt: a [e] gosodaf fy ngolwg yn eu herbyn er drwg, ac nid er da *iddynt.*

5 Ac ARGLWYDD DDUW y lluoedd a gyffwrdd â'r ddaear, a hi a dawdd; a [f] galara pawb a'r a drig ynddi, a hi a gyfyd oll fel llifeiriant, ac a foddir megis *gan* afon yr Aipht.

6 Yr hwn a adeilada [g] ei esgynfeydd yn y nefoedd, ac a sylfaenodd ei ‡ fintai ar y ddaear, yr hwn a [h] eilw ddyfroedd y môr, ac a'u tywallt ar wyneb y ddaear: Yr ARGLWYDD *yw* ei enw.

7 Onid *ydych* chwi, meibion Israel, i mi fel meibion yr Ethiopiaid? medd yr ARGLWYDD: oni ddygais i fynu feibion Israel allan o dir yr Aipht, a'r [i] Philistiaid o [k] Caphtor, a'r Syriaid o [l] Cir?

8 Wele lygaid yr ARGLWYDD ar y deyrnas bechadurus, a [m] mi a'i difethaf oddi ar wyneb y ddaear: ond ni lwyr-ddifethaf dŷ Jacob, medd yr ARGLWYDD.

9 Canys wele, myfi a orchymynaf, ac a § ogrynnaf dŷ Israel ym mysg yr holl genhedloedd, fel y gogrynnir ŷd mewn gogr; ac ni syrth ‖ y gronyn lleiaf i'r llawr.

10 Holl bechaduriaid fy mhobl a fyddant feirw gan y cleddyf, [n] y rhai a ddywedant, Ni oddiwes drwg ni, ac ni achub ein blaen.

11 ¶ [o] Y dydd hwnnw y codaf babell Dafydd yr hon a syrthiodd, ac a gauaf ei bylchau, ac a godaf ei hadwyau, ac a'i hadeiladaf fel yn y dyddiau gynt:

12 [p] Fel y meddianno y rhai y gelwir fy enw arnynt, weddill [q] Edom, a'r holl genhedloedd, medd yr ARGLWYDD yr hwn a wna hyn.

13 Wele 'r [r] dyddiau 'n dyfod, medd yr ARGLWYDD, y goddiwes yr arddwr y medelwr, a sathrydd y grawnwin † yr hauwr had; a'r mynyddoedd a ddefnynnant [s] ‡ felyswin, a'r holl fryniau a doddant.

14 A dychwelaf gaethiwed fy mhobl Israel; a [t] hwy a adeiladant y dinasoedd anghyfannedd, ac a'u preswyliant; a hwy a blannant winllannoedd, ac a yfant o'u gwin; gwnant hefyd erddi, a bwyttânt eu ffrwyth hwynt.

15 Ac mi a'u plannaf hwynt yn eu tir, ac ni's diwreiddir hwynt mwyach o'u tir a roddais i iddynt, medd yr ARGLWYDD dy DDUW.

† Neu, *ac archolla.* a Pen. 2. 14. b Psal. 139. 8, &c. c Job 20. 6. Jer. 51. 53. Obad. 4. d Deut. 28. 65. e Lef. 17. 10. Jer. 44. 11. f Pen. 8. 8. g Psal. 104. 3, 13. ‡ Neu, *ysgub.* h Pen. 5. 8. i Jer. 47. 4. k Deut. 2. 23. Jer. 47. 4. l Pen. 1. 5. m Jer. 30. 11. a 31. 35, 36. Obad. 10. 17. § Heb. *gyhwfanaf.* ‖ Heb. *graenyn i'r llawr.* n Pen. 6. 3. o Act. 15. 16, 17. p Obad. 19. q Num. 24. 18. r Lef. 26. 5. † Heb. *yr hwn a ddygo'r had allan.* s Joel 3. 18. ‡ Neu, *win newydd.* t Esay 65. 22.

# ¶ LLYFR OBADIAH

Medi 7. P.

1 *Dinystr Edom, 3 am eu balchder, 10 ac am y cam a wnaethent i Jacob. 17 Iachawdwriaeth a buddugoliaeth Jacob.*

Cyn Crist cylch 587.

GWELEDIGAETH Obadïah. Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD DDUW [a] am Edom; [b] Clywsom son oddi wrth yr ARGLWYDD, a chennad a hebryngwyd ym mysg y cenhedloedd; Codwch, a chyfodwn i ryfela yn ei herbyn hi.

2 Wele, mi a'th wneuthum yn fychan ym mysg y cenhedloedd; dibris iawn *wyt.*

3 ¶ Balchder dy galon a'th dwyllodd: ti yr hwn wyt yn trigo yn holltau'r graig, *yn* uchel ei drigfa; yr hwn a ddywed yn ei galon, Pwy a'm tyn i'r llawr?

4 [c] Ped ymddyrchefit megis yr eryr, a phe rhoit dy nyth ym mhlith y ser, mi a'th ddisgynwn oddi yno, medd yr ARGLWYDD.

5 [d] Pe deuai lladron attat, neu yspeilwŷr nos (pa fodd y'th dorrwyd ymaith!) oni ladrattasent hwy eu digon? pe daethai cynhullwŷr grawnwin attat, [e] oni weddillasent † rawn?

6 Pa fodd y chwiliwyd Esau, *ac* y ceisiwyd ei guddfeydd ef!

7 Yr holl wŷr y rhai 'r oedd cyfammod rhyngot â hwynt, a'th yrrasant hyd y terfyn; ‡ *y* gwŷr yr oedd heddwch rhyngot â hwynt, a'th dwyllasant, *ac* a'th orfuant; *bwyttawŷr* dy fara a roddasant archoll danat: nid *oes* deall § ynddo.

8 [f] Oni ddinystriaf y dydd hwnnw, medd yr ARGLWYDD, y doethion allan o Edom, a'r deall allan o fynydd Esau?

9 Dy gedyrn di, Teman, a ofnant; fel y torrer ymaith bob un o fynydd Esau trwy laddfa.

10 ¶ [g] Am *dy* draha yn erbyn dy frawd Jacob, gwarth a'th orchuddia, a [h] thi a dorrir ymaith byth.

11 Y dydd y sefaist o'r tu arall, y dydd y caeth-gludodd estroniaid ei ‖ olud ef, a myned o ddïeithriaid i'w byrth ef, a bwrw coel-brennau ar Jerusalem, tithau hefyd *oeddit* megis un o honynt.

12 † Ond ni ddylesit ti edrych ar ddydd dy frawd, y dydd y dïeithriwyd ef; ac ni ddylesit lawenychu o achos plant Judah, y dydd y difethwyd hwynt; ac ni ddylesit ‡ ledu dy safn ar ddydd y cystudd.

13 Ni ddylesit ddyfod o fewn porth fy mhobl yn nydd eu hadfyd; ïe, ni ddylesit edrych ar eu hadfyd yn nydd eu hadfyd; ac ni ddylesit estyn *dy law* ar eu § golud yn nydd eu difethiad hwynt.

14 Ac ni ddylesit sefyll ar y croes-ffyrdd, i dorri ymaith y rhai a ddïangai o hono; ac ni ddylesit ‖ roi i fynu y gweddill o hono ar ddydd yr adfyd.

15 Canys agos *yw* dydd yr ARGLWYDD ar yr holl genhedloedd: [i] fel y gwnaethost, y gwneir i tithau; dy wobr a ddychwel ar dy ben dy hun.

16 Canys [k] megis yr yfasoch ar fy mynydd sanctaidd, *felly* 'r holl genhedloedd a yfant yn wastad; ïe, yfant, a llyngcant, a byddant fel pe na buasent.

17 ¶ Ond ar fynydd Sïon [l] y bydd † ymwared, ‡ ac y bydd sancteiddrwydd; a thŷ Jacob a berchennogant eu perchennogaeth hwynt.

18 Yna y bydd tŷ Jacob [m] yn dân, a thŷ Joseph yn fflam, a thŷ Esau yn sofl, a chynneuant ynddynt, a difaant hwynt; ac ni bydd *un* gweddill o dŷ Esau: canys yr ARGLWYDD a'i dywedodd.

19 [n] Goresgyn y deau hefyd fynydd Esau, a'r gwastadedd y Philistiaid; a pherchennogant feusydd Ephraim, a meusydd Samaria, a Benjamin *a feddianna* Gilead;

20 A chaeth-glud y llu hwn o blant Israel, yr hyn *a fu eiddo* y Canaaneaid, hyd Sarephath: a chaethion Jerusalem, § y rhai *sydd* yn Sepharad, a feddiannant ddinasoedd y deheu.

21 A [o] gwaredwŷr a ddeuant i fynu ar fynydd Sïon i farnu mynydd Esau: [p] a'r frenhiniaeth fydd eiddo'r ARGLWYDD.

585.

[a] Esay 21. 11. a 34. 5. Ezec. 25. 12. Joel 3. 19. Mal. 1. 3. [b] Jer. 49. 14, &c. [c] Job 20. 6. Jer. 49. 16. a 51. 53. Amos 9. 2. [d] Jer. 49. 9. [e] Deut. 24. 21. Esay 17. 6. a 24. 13. † Neu, *loffion.* ‡ Heb. *gwŷr dy heddwch.* § Neu, *o hono.* [f] Esay 29. 14. Jer. 49. 7. [g] Gen. 27. 41. Psal. 137. 7. Ezec. 25. 12. a 35. 5. Amos 1. 11. [h] Ezec. 35. 9. Mal. 1. 4. ‖ Neu, *lu.*

† Neu, *Nac edrych ar,* &c. ‡ Heb. *fawrygu.* § Neu, *llu.* ‖ Neu, *gau.* [i] Ezec. 35. 15. [k] Jer. 25. 29. a 49. 12. [l] Amos 9. 8. † Neu, *rhai dïangol.* ‡ Neu, *a bydd yn sanctaidd.* [m] Zech. 12. 6. [n] Amos 9. 12. § Neu, *a berchennogant yr hyn sydd yn Sepharad.* [o] 1 Tim. 4. 16. Iago 5. 20. [p] Luc 1. 33.

---

# ¶ LLYFR JONAH.

## PEN. I.

Medi 8. B.

1 *Danfon Jonah i Ninefeh, ac yntau yn ffoi i Tarsis: 4 a thymmestl yn ei gyhuddo ef. 11 Ei daflu ef i'r môr, 17 a physgodyn yn ei lyngcu ef.*

Cyn Crist cylch 862.

A Gair yr ARGLWYDD a ddaeth at [a] † Jonah fab Amittai, gan ddywedyd,

2 Cyfod, dos i Ninefeh [b] y ddinas fawr, a llefa yn ei herbyn; canys [c] eu drygioni hwynt a ddyrchafodd ger fy mron.

3 A Jonah [d] a gyfododd i ffoi i Tarsis oddi ger bron yr ARGLWYDD: ac efe a aeth i wared i [e] Joppa, ac a gafodd long yn myned i Tarsis, ac a dalodd ei llong-lôg hi, ac a aeth i wared iddi i fyned gyd â hwynt i Tarsis, oddi ger bron yr ARGLWYDD.

4 ¶ Ond yr ARGLWYDD a ‡ gyfododd wŷnt mawr yn y môr, a bu yn y môr dymmestl fawr, fel § y tybygwyd y drylliai'r llong.

5 Yna'r morwŷr a ofnasant, a lefasant bob un ar ei dduw, a [f] bwriasant y dodrefn *oedd* yn y llong i'r môr, i ymysgafnhâu o honynt: ond Jonah a aethai i wared i ystlysau 'r llong, ac a orweddasai, ac a gysgasai.

6 A meistr y llong a ddaeth atto ef, ac a ddywedodd wrtho, Beth *a ddarfu* i ti, gysgadur? cyfod, galw ar dy DDUW: [g] fe allai'r ystyr y Duw hwnnw wrthym, fel na'n coller.

7 A dywedasant bob un wrth ei gyfaill, Deuwch, a bwriwn goel-brennau, fel y gwypom o achos pwy *y mae* 'r drwg hwn arnom. A bwriasant goel-brennau, a'r coel-bren a syrthiodd ar Jonah.

8 A dywedasant wrtho, Attolwg, dangos i ni er mwyn pwy *y mae* i ni y drwg hwn: beth *yw* dy gelfyddyd di? ac o ba le y daethost? pa le *yw* dy wlad? ac o ba bobl *yr wyt* ti?

9 Ac efe ddywedodd wrthynt, Hebread *ydwyf* fi; ac ofni 'r wyf fi ARGLWYDD DDUW y nefoedd, yr hwn a wnaeth y môr a'r sychdir.

10 A'r gwŷr a ofnasant *gan* ofn mawr, ac a ddywedasant wrtho, Paham y gwnaethost hyn? (canys y dynion a wyddent iddo ffoi oddi ger bron yr ARGLWYDD, o herwydd efe a fynegasai iddynt.)

[a] 2 Bren. 14. 25. † *Jonas,* Mat. 12. 39. [b] Gen. 10. 11, 12. Pen. 3. 3. [c] Gen. 18. 20. Ezra 9. 6. Dat. 18. 5. [d] Pen. 4. 2. [e] Jos. 19. 46. 2 Chron. 2. 16. Act. 9. 36. ‡ Heb. *a daflodd allan.* § Heb. *yr amcanodd y llong ddryllio.* [f] Felly Act. 27. 18, 19. [g] Joel 2. 14.

# ¶ LLYFR MICHAH.

## PEN. I.

1 *Michah yn dangos digofaint Duw yn erbyn Jacob am eu gau-dduwiaeth; 10 ac yn annog i alaru.*

GAIR yr ARGLWYDD yr hwn a ddaeth
at [a] Michah y Morasthiad yn nyddiau
Jotham, Ahaz, *a* Hezecïah, brenhinoedd Ju-
dah, [b] yr hwn a welodd efe am Samaria a
Jerusalem.
2 Gwrandêwch, bobl † oll; [c] clyw dithau
y ddaear, ‡ ac sydd ynddi; a bydded yr AR-
GLWYDD DDUW yn dyst i'ch erbyn, yr Ar-
glwydd o'i deml sanctaidd.
3 Canys [d] wele 'r ARGLWYDD yn dyfod
o'i [e] le; *efe* hefyd a ddisgyn, ac [f] a sathr ar
ucheiderau y ddaear.
4 [g] A'r mynyddoedd a doddant tano ef,
a'r glynnoedd a ymholltant fel cwyr o flaen
y tân, *ac* fel y dyfroedd a dywelltir ar y
goriwared.
5 Hyn i gyd *sydd* am anwiredd Jacob, ac
am bechodau tŷ Israel. Beth *yw* anwiredd
Jacob? onid Samaria? Pa rai *yw* uchel-
leoedd Judah? onid Jerusalem?
6 Am hynny [h] y gosodaf Samaria yn garn-
edd-faes *dda* i blannu gwinllan; a gwnaf
i'w cherrig dreiglo i'r dyffryn, a datguddiaf
ei sylfeini.
7 A'i holl ddelwau cerfiedig a gurir yn
ddrylliau, a'i holl wobrau a losgir yn tân, a'i
holl eilunod a osodaf yn anrheithiedig: o
herwydd o wobr puttain y casglodd hi *hwynt*,
ac yn wobr puttain y dychwelant.
8 O herwydd hyn [i] galaraf ac udaf;
[k] cerddaf yn noeth ac yn llwm: gwnaf
alar [l] fel dreigiau, a gofid fel § cywion y
dylluan.
9 O herwydd dolurus *yw* || ei harcholl:
canys daeth hyd at Judah; daeth hyd borth
fy mhobl, hyd Jerusalem.
10 ¶ [m] Na fynegwch *hyn* yn Gath, gan
wylo na wylwch ddim: [n] ymdreigla mewn
llwch yn nhŷ † Aphrah.
11 Dos heibio, ‡ preswylferch Saphir,
yn [o] noeth dy warth: ni ddaeth preswyl-
ferch § Saanan allan yngalar || Beth-esel, efe
a dderbyn gennych ei sefyll-tan.
12 Canys trig-ferch Maroth a † ddisgwyl-
iodd yn ddyfal am ddaioni; eithr [p] drwg a
ddisgynodd oddi wrth yr ARGLWYDD hyd
at borth Jerusalem.
13 Preswylferch Lachis, rhwym y cerbyd
wrth y buan-farch: dechreuad pechod *yw*
hi i ferch Sïon: canys ynot ti y cafwyd an-
wireddau Israel.
14 Am hynny y rhoddi anrhegion ‡ i Mo-
reseth-gath: tai § Achzib *a fyddant* yn gel-
wydd i frenhinoedd Israel.
15 Etto mi a ddygaf etifedd i ti, preswyl-
ferch Maresah; || daw hyd Adùlam, gogoniant
Israel.
16 [q] Ymfoela, ac ymeillia am dy blant
moethus: helaetha dy foelder fel eryr; canys
caeth-gludwyd hwynt oddi wrthyt.

Medi 9. P. — Cyn Crist cylch 750.
[a] Jer. 26. 18. — [b] Amos 1. 1. — † Heb. *hwynt oll.* — [c] Deut. 32. 1. Esay 1. 2. — ‡ Heb. *a'i chyflawnder.* — [d] Esay 26. 21. — [e] Psal. 115. 3. — [f] Deut. 32. 13. a 33. 29. Amos 4. 13. — [g] Psal. 97. 5. Esay 64. 1, 2. Amos 9. 5. Hab. 3. 6, 10. — [h] Pen. 3. 12. — [i] Esay 21. 3. a 22. 4. Jer. 4. 19. — [k] Esay 20. 2, 3. — [l] Job 30. 29. Psal. 102. 6. — § Heb. *merched.* — || Neu, *ei harchollion.* — [m] 2 Sam. 1. 20. — [n] Jer. 6. 26. — † Sef, *llwch.* — ‡ Neu, *yr hon a breswyli yn deg.* — [o] Esay 20. 4. a 47. 2, 3. Jer. 13. 22. — § Neu, *y ddiadell-wlad.* — || Neu, *lle aros.* — † Neu, *fu ddrwg ganthi.* — [p] Amos 3. 6. — ‡ Neu, *am.* — § Sef, *celwydd.* — || Neu, *daw gogoniant Israel hyd Adùlam.* — [q] Job 1. 20. Esay 22. 12. Jer. 47. 5.

## PEN. II.

1 *Yn erbyn trais.* 4 *Cwynfan.* 7 *Ceryddu anghyfiawnder a delw-addoliaeth.* 12 *Addaw adferu Jacob.*

GWAE [a] a ddychymygo anwiredd, ac
[b] a wnelo ddrygioni ar eu gwelyau:
pan oleuo 'r bore y gwnant hyn; am ei fod
ar eu dwylaw.
2 [c] Meusydd a chwennychant hefyd, ac
a ddygant trwy drais; a theiau, ac a'u dyg-
ant: † gorthrymmant hefyd wr a'i dŷ, dyn
a'i etifeddiaeth.
3 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD, Wele, yn erbyn y teulu hwn y
dychymygais ddrwg, yr hwn ni thynnwch
eich gyddfau o hono, ac ni rodiwch yn falch;
canys amser drygfyd *yw*.
4 ¶ Yn y dydd hwnnw y cyfyd *un* ddam-
meg am danoch chwi, ac a alara ‡ alar
gofidus, gan ddywedyd, Dinystriwyd ni yn
llwyr: [d] newidiodd ran fy mhobl: pa fodd
y dug *ef* oddi arnaf! § gan droi ymaith, efe
a rannodd ein meusydd.
5 Am hynny ni bydd i ti [e] a fwrio reffyn
coelbren ynghynnulleidfa 'r ARGLWYDD.
6 [f] Na || phrophwydwch, † *meddant wrth*
*y rhai* a brophwydant: ond ni phrophwydant
iddynt na dderbyniont gywilydd.
7 ¶ Oh yr hon a elwir Tŷ Jacob, a ‡ fyr-
hawyd yspryd yr ARGLWYDD? ai dyma ei
weithredoedd ef? oni wna fy ngeiriau les i'r
neb a rodio yn uniawn?
8 *Y rhai oedd* fy mhobl ddoe, a godasant
yn elyn: dïosgwch y dilledyn § gyd â'r
wisg oddi am y rhai a ânt heibio yn ddïofal,
*fel* rhai yn dychwelyd o ryfel.
9 Gwragedd fy mhobl a fwriasoch allan o
dŷ eu hyfrydwch; *a* dygasoch oddi ar eu
plant hwy fy harddwch byth.
10 Codwch, ac ewch ymaith; canys nid
dyma *eich* gorphwysfa: am ei halogi, y
dinystria hi *chwi* â dinystr tost.
11 Os un || yn rhodio yn yr yspryd a
chelwydd, a ddywed yn gelwyddog, Pro-
phwydaf it' am win a dïod gadarn; efe a
gaiff fod yn brophwyd i'r bobl hyn.
12 ¶ Gan gasglu y'th gasglaf, Jacob oll:
gan gynnull cynhullaf weddill Israel; go-
sodaf hwynt ynghŷd fel defaid Bosrah, fel y
praidd ynghanol eu corlan: trystiant rhag
*amled* dyn.
13 Daw y rhwygydd i fynu o'u blaen
hwynt; rhwygasant, a thramwyasant trwy 'r
porth, ac aethant allan trwyddo, a thram-
wya eu brenhin o'u blaen, a'r ARGLWYDD ar
eu pennau hwynt.

Medi 10. B. — Cylch 730.
[a] Hos. 7. 6. — [b] Psal. 36. 4. — [c] Esay 5. 8. — † Neu, *twyllant.* — ‡ Heb. *alar galarau.* — [d] Pen. 1. 15. — § Neu, *yn lle adferu.* — [e] Deut. 32. 8, 9. — [f] Esay 30. 10. Amos 7. 16. — || Heb. *ddefnynnwch, &c.* Ezec. 21. 2. — † Neu, *fel y prophwydant hwy.* — ‡ Neu, *gyfyngwyd.* — § Heb. *gyferbyn a'r wisg.* — || Neu, *a rodia gyd â'r gwynt, ac a ddywed gelwydd yn gelwyddog, gan ddywedyd, Prophwydaf, &c.*

## PEN. III.

1 *Creulondeb y tywysogion.* 5 *Ffalsedd y prophwydi:* 8 *a d'iofalwch pob un o'r ddau.*

DYWEDAIS hefyd, Gwrandêwch, at-
tolwg, pennaethiaid Jacob, a thywyso-
gion tŷ Israel: [a] Onid i chwi *y perthyn* gwy-
bod barn?
2 Y rhai ydych yn casàu 'r da, ac yn
hoffi 'r drwg, gan flingo eu croen oddi am
danynt, a'u cig oddi wrth eu hesgyrn:
3 Y rhai hefyd [b] a fwyttànt gig fy mhobl,
a'u croen a flingant oddi am danynt, a'u
hesgyrn a ddrylliant, ac a friwant, megis i'r
crochan, ac [c] fel cig yn y badell.
4 Yna [d] y llefant ar yr ARGLWYDD, ac
ni's ettyb hwynt; efe a guddia ei wyneb
oddi wrthynt y pryd hwnnw, fel y buant
ddrwg yn eu gweithredoedd.
5 ¶ Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD
[e] am y prophwydi sydd yn cyfeiliorni fy
mhobl, [f] y rhai a frathant â'u dannedd, ac a
lefant, Heddwch: [g] a'r neb ni roddo yn eu
pennau hwynt, darparant ryfel yn ei erbyn.

Medi 10. P. — 710.
[a] Jer. 5. 4, 5. — [b] Psal. 14. 4. — [c] Ezec. 11. 7. — [d] Psal. 18. 41. Diar. 1. 28. Ezec. 8. 18. Zech. 7. 13. — [e] Esay 56. 10, 11. Ezec. 22. 25. — [f] Pen. 2. 11. Mat. 7. 15. — [g] Ezec. 13. 18, 19.

h Esay 8. 20, 22. Ezec. 13. 23. Zech. 13. 4. † Heb. *oddi wrth weledigaeth.* ‡ Heb. *oddi wrth ddewinio.*

6 [h] Am hynny *y bydd* nos i chwi, † fel na chaffoch weledigaeth; a thywyllwch i chwi, ‡ fel na chaffoch ddewiniaeth: yr haul hefyd a fachluda ar y prophwydi, a'r dydd a dduа arnynt.

§ Heb. *gwefus uchaf.*

7 Yna y gweledyddion a gywilyddiant, a'r dewiniaid a waradwyddir; ie, pawb o honynt a gauant ar eu § genau, am na *bydd* Duw atteb.

i Esay 58. 1.

8 ¶ Ond yn ddiau llawn wyf fi o rym gan yspryd yr ARGLWYDD, ac o farn a nerth, [i] i ddangos ei anwiredd i Jacob, a'i bechod i Israel.

9 Gwrandêwch hyn, attolwg, pennaethiaid tŷ Jacob, a thywysogion tŷ Israel, y rhai sy ffiaidd ganddynt farn, ac yn gwyro pob uniondeb.

k Jer. 22. 13. l Ezec. 22. 27. Seph. 3. 3.

10 [k] Adeiladu Sïon y maent [l] â gwaed, a Jerusalem ag anwiredd.

m Esay 1. 23. Hos. 4. 18. Pen. 7. 3. n Esay 48. 2. Rhuf. 2. 17.

11 [m] Ei phennaethiaid a roddant farn er gwobr, a'i hoffeiriaid a ddysgant er cyflog, a'r prophwydi a ddewiniant er arian; [n] etto wrth yr ARGLWYDD yr ymgynhaliant, gan ddywedyd, Onid *yw*'r ARGLWYDD i'n plith? ni ddaw drwg arnom.

o Jer. 26. 18. Pen. 1. 6. p Psal. 79. 1.

12 Am hynny [o] o'ch achos chwi'r erddir Sïon *fel* maes, [p] a Jerusalem a fydd yn garneddau, a mynydd y tŷ fel uchel-leoedd y goedwig.

## PEN. IV.

Medi 11. B.

1 *Gogoniant,* 3 *heddwch,* 8 *teyrnas,* 11 *a buddugoliaeth yr eglwys.*

710. a Esay 2. 2, &c. Ezec. 17. 22, 23.

ABydd [a] yn niwedd y dyddiau, i fynydd tŷ'r ARGLWYDD fod wedi ei sicrhâu ym mhen y mynyddoedd; ac efe a ddyrchefir goruwch y bryniau; a phobloedd a ddylifant atto.

2 A chenhedloedd lawer a ant ac a ddywedant, Deuwch, ac awn i fynu i fynydd yr ARGLWYDD, ac i dŷ DDUW Jacob; ac efe a ddysg i ni ei ffyrdd, ac yn ei lwybrau y rhodiwn: canys y gyfraith a â allan o Sïon, a gair yr ARGLWYDD o Jerusalem.

b Joel 3. 10. † Neu, *grymmanau.*

3 ¶ Ac efe a farna rhwng pobloedd lawer, ac a gerydda genhedloedd cryfion hyd ym mhell; a [b] thorrant eu cleddyfau yn sychau, a'u gwaywffyn yn † bladuriau: ac ni chyfyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel mwyach.

c 1 Bren. 4. 25. Zech. 3. 10.

4 Ond [c] eisteddant bob un dan ei winwŷdden a than ei ffigysbren, heb neb i'*w* dychrynu; canys genau ARGLWYDD y lluoedd a'*i* llefarodd.

d Jer. 2. 11. e Zech. 10. 12.

5 Canys [d] yr holl bobloedd a rodiant bob un yn enw ei dduw ei hun, a [e] ninnau a rodiwn yn enw'r ARGLWYDD ein Duw byth ac yn dragywydd.

f Ezec. 34. 16. Seph. 3. 19.

6 Yn y dydd hwnnw, medd yr ARGLWYDD, [f] y casglaf y gloff, ac y cynhullaf yr hon a yrrwyd allan, a'r hon a ddrygais:

g Dan. 7. 14. Luc 1. 33.

7 A gwnaf y gloff yn weddill, a'r hon a daflwyd ym mhell, yn genedl gref; [g] a'r ARGLWYDD a deyrnasa arnynt ym mynydd Sïon o hyn allan byth.

8 ¶ A thithau, tŵr y praidd, castell merch Sïon, hyd attat y daw, ie, y daw'r arglwyddïaeth bennaf, y deyrnas i ferch Jerusalem.

h Jer. 8. 19.

9 Pa ham gan hynny y gweiddi waedd? [h] onid *oes* ynot frenhin? a ddarfu am dy gynghorydd? canys gwewŷr a'th gymmerodd megis gwraig yn esgor.

10 Ymofidia a griddfana, merch Sïon, fel gwraig yn esgor: o herwydd yr awr hon yr ei di allan o'r ddinas, a thrigi yn y maes; ti a ei hyd Babilon: yno y'th waredir; yno'r achub yr ARGLWYDD di o law dy elynion.

11 ¶ Yr awr hon hefyd llawer o genhedloedd a ymgasglasant i'th erbyn, gan ddywedyd, Haloger hi, a gweled ein llygaid *hynny* ar Sïon.

12 Ond ni wyddant hwy feddyliau'r ARGLWYDD, ac ni ddeallant ei gyngor ef: canys efe a'u casgl hwynt fel ysgubau i'r llawr dyrnu.

13 Cyfod, merch Sïon, a [i] dyrna; canys i Esay 41. 15, 16.
gwnaf dy gorn yn haiarn, a'th garnau yn bres; a thi a ddrylli bobloedd lawer: a chyssegraf i'r ARGLWYDD eu helw hwynt, a'u golud i [k] ARGLWYDD yr holl k Zech. 4. 14. a 6. 5.
ddaear.

## PEN. V.

1 *Genedigaeth Crist,* 4 *a'i frenhiniaeth,* 8 *a'i fuddugoliaeth.* Medi 11. P.

YR awr hon ymfyddina, merch y fyddin; gosododd gynllwyn i'n herbyn: tarawant farnwr Israel â gwialen ar *ei* gern. 710.

2 A thithau, [a] Bethlehem Ephratah, *er* dy a Mat. 2. 6.
fod yn fechan ym mhlith miloedd Judah, Job 7. 12.
*etto* o honot ti y daw allan i mi *un* i fod yn llywydd yn Israel; yr hwn yr oedd ei fynediad allan o'r dechreuad, er dyddiau tragywyddoldeb.

3 Am hynny y rhydd efe hwynt i fynu, hyd yr amser y darffo i'r hon a esgoro esgor: yna gweddill ei frodyr ef a ddychwelant at feibion Israel.

4 ¶ Ac efe a saif ac a † bortha â nerth † Neu, *lywodraetha.*
yr ARGLWYDD, yn ardderchowgrwydd enw'r ARGLWYDD ei DDUW; a hwy a drigant: canys yr awr hon efe a fawrheir hyd eithafoedd y ddaear.

5 A hwn fydd yr heddwch, pan ddêl yr Assyriad i'n tir ni: a phan sathro o fewn ein palasau, yna cyfodwn yn ei erbyn saith fugail, ac wyth ‡ o'r dynion ‡ Heb. *o bennaethiaid dynion.*
pennaf.

6 A hwy a § ddinystriant dir Assyria § Heb. *ysant.*
â'r cleddyf, a thir Nimrod ‖ â'i gleddyfau ‖ Neu, *yn ei byrth.*
noethion ei hun: ac efe a'*n* hachub rhag yr Assyriad, pan ddêl i'n tir, *a* phan sathro o fewn ein terfynau.

7 A bydd gweddill Jacob ynghanol llawer o bobl, fel y gwlith oddi wrth yr ARGLWYDD, megis cawodydd ar y gwelltglas, yr hwn nid erys ar ddyn, *ac* ni ddisgwyl wrth feibion dynion.

8 ¶ A gweddill Jacob a fydd ym mysg y Cenhedloedd ynghanol pobl lawer, fel llew ym mysg bwystfilod y goedwig, ac fel cenaw llew ym mhlith y diadellau † defaid; † Neu, *geifr.*
yr hwn, pan êl trwodd, a sathr ac a 'sglyfaetha, ac ni *bydd* achubydd.

9 Dy law a ddyrchefir yn erbyn dy wrthwynebwŷr, a'th holl elynion a dorrir ymaith.

10 [b] A bydd y dydd hwnnw, medd b Zech. 9. 10.
yr ARGLWYDD i mi dorri ymaith dy feirch o'th ganol di, a dinystrio dy gerbydau:

11 Torraf hefyd i lawr ddinasoedd dy wlad, a dymchwelaf dy holl ymddiffynfeydd:

12 A thorraf ymaith o'th law y swynion, ac ni bydd it' ddewiniaid.

13 Torraf hefyd i lawr dy luniau cerfiedig, a'th † ddelwau o'th blith; ac ni chei ymgrymmu mwyach i weithredoedd dy ddwylaw dy hun.

14 Diwreiddiaf dy lwyni o'th ganol hefyd; a dinystriaf dy ‡ ddinasoedd.

15 Ac mewn dig a llid y gwnaf ar y cenhedloedd y fath ddïaledd ag na chlywsant.

† Neu, *delw-bethau.*
‡ Neu, *elynion.*

## PEN. VI.

1 *Ymrafael Duw o herwydd angharedigrwydd,* 6 *ac anwybodaeth,* 10 *ac anghyfiawnder,* 16 *a delw-addoliaeth ei bobl.*

Medi 12. B. Sul 20 ar ol y Drindod, P.

710. GWRANDÊWCH, attolwg, y peth a ddywed yr ARGLWYDD; Cyfod, ymddadleu † â'r ᵃ mynyddoedd, a chlywed y bryniau dy lais.

2 ᵇ Gwrandêwch y mynyddoedd, a chedyrn sylfeini 'r ddaear, gŵyn yr ARGLWYDD; canys ᶜ *y mae* cwyn rhwng yr ARGLWYDD a'i bobl, ac efe a ymddadleu ag Israel.

3 Fy mhobl, ᵈ beth a wneuthum i ti? ac ym mha beth y'th flinais? tystiolaetha i'm herbyn.

4 Canys ᵉ mi a'th ddygais o dir yr Aipht, ac a'th ryddheais o dŷ 'r caethiwed, ac a anfonais o'th flaen Moses, Aaron, a Miriam.

5 Fy mhobl, cofia, attolwg, beth a fwriadodd ᶠ Balac brenhin Moab, a pha atteb a roddes Balaam mab Beor iddo, o ᵍ Sittim hyd Gilgal; fel y galloch wybod cyfiawnder yr ARGLWYDD.

6 ¶ A pha beth y deuaf ger bron yr ARGLWYDD, *ac* yr ymgrymmaf ger bron yr uchel DDUW? a ddeuaf fi ger ei fron ef â phoeth-offrymmau, ac â ‡ dyniewaid?

7 ʰ A foddlonir yr ARGLWYDD â miloedd o feheryn, *neu* â myrddiwn o ffrydiau olew? a roddaf fi fy nghyntaf-anedig *dros* fy anwiredd, ffrwyth § fy nghroth *dros* bechod fy enaid?

8 Dangosodd efe it', ddyn, beth *sydd* dda: a ⁱ pha beth a gais yr ARGLWYDD gennyt, ond ᵏ gwneuthur barn, a hoffi trugaredd, ac ymostwng i rodio gyd â'th DDUW?

9 Llef yr ARGLWYDD a lefa ar y ddinas, ‖ a'r doeth a wêl dy enw: gwrandêwch y wialen, a phwy a'i hordeiniodd.

10 ¶ *A oes* etto † drysorau anwiredd o fewn tŷ y gwr anwir, ‡ a'r mesur prin, ˡ *peth sy* ffiaidd?

11 A § gyfrifwn yn lân *un* â ᵐ chloriannau anwir, ac â chod o gerrig twyllodrus?

12 Canys y mae ei chyfoethogion yn llawn trais, a'i thrigolion a ddywedasant gelwydd; ⁿ a'u tafod *sydd* dwyllodrus yn eu genau.

13 A minnau hefyd a'*th* glwyfaf wrth dy daro, wrth *dy* anrheithio am dy bechodau.

14 ᵒ Ti a fwyttêi, ac ni'th ddigonir; a'th ostyngiad *fydd* yn dy ganol dy hun: ti a ymafli, ac nid achubi; a'r hyn a achubech, a roddaf i'r cleddyf.

15 Ti a ᵖ hau, ond ni fedi; ti a sethri 'r olewŷdd, ond nid ymiri ag olew; a gwin newydd, ond nid yfi win.

16 ¶ ‖ Cadw 'r ydys ddeddfau ᵠ Omri,

† Neu, *o flaen y mynyddoedd.*
ᵃ Esay 1. 2.
ᵇ Psal. 50. 1, 4.
ᶜ Esay 1. 18. a 5. 3, 4. a 43. 26. Hos. 4. 1.
ᵈ Jer. 2. 5, 31.
ᵉ Exod. 12. 51. a 14. 30. a 20. 2.
ᶠ Num. 22. 5. a 23. 7. Deut. 23. 4, 5. Jos. 24. 9, 10.
Dat. 2. 14.
ᵍ Num. 25. Jos. 5.
‡ Heb. *lloiau, meibion blwydd.*
ʰ Psal. 50. 9. a 51. 16. Esay 1. 11.
§ Neu, *fy nghorph.*
ⁱ Deut. 10. 12.
ᵏ Esay 1. 17.
‖ Neu, *a'th enw a wêl yr hyn sy ddoeth.*
† Neu, *i bob gwr dŷ yr anwir, &c.*
‡ Heb. *a mesur culni,*
Amos 8. 5.
ˡ Diar. 11. 1. a 20. 10, 23.
§ Neu, *fyddaf fi lân â chloriannau, &c.*
ᵐ Hos. 12. 7.
ⁿ Jer. 9. 8.
ᵒ Lef. 26. 26. Hos. 4. 10.
ᵖ Deut. 28. 38, 39. Amos 5. 11. Seph. 1. 13. Hag. 1. 6.
‖ Neu, *Cadw y mae yn ddyfal ddeddfau Omri.*
ᵠ 1 Bren. 16. 25, 26.

a holl weithredoedd ʳ Ahab, a rhodio 'r ydych yn eu cynghorion; fel y'th wnawn yn † anghyfannedd, a'i thrigolion i'w hwtio: am hynny y dygwch warth fy mhobl.

ʳ 1 Bren. 16. 30, &c.
† Neu, *syndod.*

## PEN. VII.

1 *Yr eglwys yn cwyno leied yw o rifedi,* 3 *mor gyffredin yw llygredigaeth;* 5 *ac yn rhoi ei goglud a'i hyder, nid ar ddyn, ond ar Dduw:* 8 *yn gorfoleddu ar ei gelynion;* 14 *a Duw yn ei chysuro hi trwy addewidion,* 16 *a thrwy waradwyddo ei gelynion,* 18 *a thrwy ei drugareddau.*

Medi 12. P.

710. GWAE fi! canys ydwyf fel † casgliadau ffrwythydd haf, fel lloffion grawnwin y cynhauaf gwin; nid *oes* swp o rawn i'w bwytta; fy enaid a flysiodd ᵃ yr addfed ffrwyth cyntaf.

2 ᵇ Darfu am y ‡ duwiol oddi ar y ddaear, ac nid *oes* un uniawn ym mhlith dynion; cynllwyn y maent oll am waed; pob un sydd yn hela ei frawd â rhwyd.

3 ¶ I wneuthur drygioni â'r ddwy ddwylaw yn egnïol, ᶜ y tywysog a ofyn, ᵈ a'r barnwr am wobr; a'r *hwn sydd* fawr a ddywed § lygredigaeth ei feddwl: felly y plethant ef.

4 Y goreu o honynt ᵉ *sydd* fel mïeren, yr unionaf *yn arwach* nâ chae drain: dydd dy wylwŷr, a'th ofwy sydd yn dyfod: bellach y bydd eu penbleth hwynt.

5 ¶ ᶠ Na chredwch i gyfaill, nac ymddiriedwch i dywysog: cadw ddrws dy enau rhag yr hon a orwedd yn dy fynwes.

6 Canys ᵍ mab a ammharcha ei dad, y ferch a gyfyd yn erbyn ei mam, a'r waudd yn erbyn ei chwegr: a gelynion gwr *yw* dynion ei dŷ.

7 Am hynny mi a edrychaf ar yr ARGLWYDD, disgwyliaf wrth DDUW fy iachawdwriaeth: fy NUW a'm gwrendy.

8 ¶ ʰ Na lawenycha i'm herbyn, fy ngelynes: pan syrthiwyf, cyfodaf; pan eisteddwyf mewn tywyllwch, yr ARGLWYDD a lewyrcha i mi.

9 Dïoddefaf ddig yr ARGLWYDD, canys pechais i'w erbyn; hyd oni ddadleuo fy nghwyn, a gwneuthur i mi farn: efe a'm dwg allan i'r goleuad, a mi a welaf ei gyfiawnder ef.

10 ‖ A'm gelynes a gaiff weled, a chywilydd a'i gorchuddia hi, yr hon a ddywedodd wrthyf, ⁱ Mae'r ARGLWYDD dy DDUW? fy llygaid a'i gwelant hi; bellach y bydd hi yn sathrfa, megis tom yr heolydd.

11 Y dydd yr adeiledir dy ᵏ furiau, y dydd hwnnw yr ymbellhâ 'r ddeddf.

12 Y dydd hwnnw ˡ y daw efe hyd attat o Assyria, † ac o'r dinasoedd cedyrn, ac o'r cadernid hyd yr afon, ac o for i fôr, ac o fynydd i fynydd.

13 ‡ Etto 'r wlad a fydd yn anrhaith o achos ei thrigolion, ᵐ am ffrwyth eu gweithredoedd.

14 ¶ § Portha dy bobl â'th wialen, defaid dy etifeddiaeth, y rhai sydd yn trigo *yn* y coed yn unig, ynghanol Carmel: porant *yn* Basan a Gilead, megis yn y dyddiau gynt.

15 Megis y dyddiau y daethost allan o dir yr Aipht y dangosaf iddo ryfeddodau.

† Heb. *casgliadau haf.*
ᵃ Hos. 9. 10.
ᵇ Psal. 12. 1. Esay 57. 1.
‡ Neu, *daionus,* neu, *trugarog.*
ᶜ Hos. 4. 18.
ᵈ Esay 1. 23.
ᵉ Pen. 3. 11.
§ Neu, *ei ysgeler feddwl.* Heb. *ysgeler ei enaid.*
ᶠ Ezec. 2. 6. Edrych Esay 55. 13.
ᶠ Jer. 9. 4.
ᵍ Ezec. 22. 7. Mat. 10. 21 35, 36. Luc 12. 53. a 21. 16.
ʰ Galar. 4. 21.
‖ Neu, *A thi a weli fy ngelynes, ac a'i gorchuddi â chywilydd, yr hon, &c.*
ⁱ Psal. 42. 3, 10. a 79. 10. a 115. 2. Joel 2. 17.
ᵏ Amos 9. 11, &c.
ˡ Esay 19. 23, &c.
† Neu, *ie, hyd y dinas.*
‡ Neu, *Wedi bod y wlad yn anrhaith.*
ᵐ Jer. 21. 14.
§ Neu, *Llywodraetha.*

16 ¶ Y cenhedloedd a welant, ac a gy-
wilyddiant gan eu holl grymder hwynt:
rhoddant *eu* llaw ar *eu* genau; eu clustiau a
fyddarant.
17 [n] Llyfant y llwch fel sarph; [o] fel
† pryfed y ddaear y symmudant o'u lloch-
esau: arswydant rhag yr ARGLWYDD ein
DUW ni, ac o'th achos di yr ofnant.
18 ¶ Pa DDUW *sydd* fel tydi, [p] yn
maddeu anwiredd, ac yn myned heibio i
anwiredd gweddill ei etifeddiaeth? [q] ni
ddeil efe ei ddig byth, am fod yn hoff
ganddo drugaredd.
19 Efe a ddychwel, efe a drugarhâ wrth-
ym: efe a ddarostwng ein hanwireddau; a
thi a defli eu holl bechodau i ddyfnderoedd
y môr.
20 Ti a gyflawni 'r gwirionedd i Jacob, *y*
drugaredd *hefyd* i Abraham, yr hwn a dyn-
gaist i'n tadau er y dyddiau gynt.

[n] Psal. 72. 9. Esay 49. 23.
[o] Psal. 18. 45.
† Neu, *ymlusgiaid.*
[p] Exod. 34. 6, 7.
[q] Psal. 103. 9. Esay 57. 16. Jer. 3. 5.

# ¶ LLYFR NAHUM.

## PEN. I.

*Mawredd Duw yn ei ddaioni tu ag at ei bobl, a'i doster yn erbyn ei elynion.*

Medi 13. B.

Cyn Crist cylch 713.

BAICH [a] Ninefeh. Llyfr gweledigaeth
Nahum yr Elcosiad.
2 † DUW *sydd* [b] eiddigus, [c] a'r AR-
GLWYDD sydd yn dïal; yr ARGLWYDD
sydd yn dïal ac yn berchen llid: dïal yr
ARGLWYDD ar ei wrthwynebwŷr, a dal *dig*
y mae efe i'w elynion.
3 [d] Yr ARGLWYDD *sydd* hwyrfrydig i
ddig, a mawr ei rym, ac ni ddïeuoga 'r
*anwir:* [e] yr ARGLWYDD *sydd* a'i lwybr yn
y corwŷnt, ac yn y rhyferthwy, a'r cymmy-
lau *yw* llwch ei draed ef.
4 [f] Efe a gerydda 'r môr, ac a'i sych; yr
holl afonydd a ddihysbydda efe: llesgaodd
Basan a Charmel, a llesgaodd blodeuyn Li-
banus.
5 [g] Y mynyddoedd a grynant rhagddo,
a'r bryniau a doddant, a'r ddaear a lysg gan
ei olwg, a'r byd hefyd a chwbl ag a drigant
ynddo.
6 Pwy a saif o flaen ei lid ef? a phwy a
gyfyd ynghynddaredd ei ddigofaint ef? ei
lid a dywelltir fel tân, a'r creigiau a fwrir i
lawr ganddo.
7 Daionus *yw*'r ARGLWYDD, ‡ ymddi-
ffynfa yn nydd blinder; ac [h] efe a edwyn y
rhai a ymddiriedant ynddo.
8 A llifeiriant yn myned trosodd y gwna
efe drangc ar ei lle hi, a thywyllwch a erlid
ei elynion ef.
9 Beth a ddychymygwch yn erbyn yr
ARGLWYDD? efe a wna drangc; ni chyfyd
blinder ddwywaith.
10 Canys tra 'r ymddyrysont fel drain, a
thra meddwont *fel* meddwon, ysir hwynt
fel sofl wedi llawn-wywo.
11 O honot y daeth allan a ddychymyga
ddrwg yn erbyn yr ARGLWYDD: cyn-
ghorwr § drygionus.
12 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD,
|| Pe *byddent* heddychol, ac felly yn aml,
etto fel hyn y † torrir hwynt i lawr, pan
elo efe heibio. Er im' dy flino, ni'th flinaf
mwyach.
13 Canys yr awron y torraf ei iau ef oddi
arnat, drylliaf dy rwymau.
14 Yr ARGLWYDD hefyd a orchymyn-
odd o'th blegid, na hauer o'th enw mwyach:
torraf o dŷ dy dduwiau y gerfiedig a'r
dawdd ddelw: gwnaf dy fedd; canys gwael
ydwyt.
15 [i] Wele ar y mynyddoedd draed yr
efangylwr, cyhoeddwr heddwch: cadw di,
O Judah, dy wyliau, tâl dy addunedau:
canys nid ‡ â'r drygionus trwot mwy; cwbl-
dorrwyd ef ymaith.

[a] Seph. 2. 13.
† Neu, *Yr Arglwydd sydd Dduw eiddigus, a dïalydd.*
[b] Exod. 20. 5.
[c] Psal. 94. 1.
[d] Exod. 34. 6, 7.
[e] Psal. 18. 7, &c. Hab. 3. 5, 11, 12.
[f] Esay 50. 2.
[g] Psal. 97. 5.
‡ Neu, *cadernid.*
[h] Psal. 1. 6.
§ Heb. *Belial.*
|| Neu, *Pe buasent heddychol, felly y buasent aml, ac felly y cneifiesid hwy, ac efe a aethai heibio.*
† Heb. *cneifir hwynt pan elo, &c.*
[i] Esay 52. 7. Rhuf. 10. 15.
‡ Heb. *â Belial.*

## PEN. II.

*Ofnadwy a buddugol luoedd Duw yn erbyn Ninefeh.*

Medi 13. P.

DAETH y † chwalwr i fynu o flaen dy
wyneb: [a] cadw 'r ymddiffynfa, gwyl-
ia 'r ffordd, nertha *dy* lwynau, cadarnhâ *dy*
nerth yn fawr.
2 [b] Canys dychwelodd yr ARGLWYDD
‡ ardderchowgrwydd Jacob, fel § ardder-
chowgrwydd Israel: canys [c] y dyhysbydd-
wŷr a'u dyhysbyddodd hwynt, ac a lygr-
asant eu cangau gwinwŷdd.
3 Tarian ei wŷr grymmus a liwiwyd yn
goch, *ei* wŷr o ryfel a wisgwyd ag ysgarlad;
y cerbydau *fyddant* gyd â || lampau tanllyd
y dydd y byddo ei arlwy, a'r ffynnidwŷdd
a ysgydwir yn aruthrol.
4 Y cerbydau a gynddeiriogant yn yr
heolydd, tarawant wrth eu gilydd yn y
prif-ffyrdd: eu gwelediad fydd fel fflammau,
ac fel mellt y saethant.
5 Efe a gyfrif ei *weision* gwŷchion; tram-
gwyddant wrth gerdded; prysurant at ei
chaer hi, a'r † ymddiffyn a barottöir.
6 Pyrth y dwfr a agorir, a'r palas a ‡ ym-
ddettyd.
7 § A Hussab a || gaeth-gludir, dygir hi i
fynu, a'i morwynion yn *ei* harwain megis â
llais colommennod yn curo ar eu dwyfronnau.
8 A Ninefeh *sydd* † er ys dyddiau fel
llynn o ddwfr: ond hwy a ffoant. Sefwch,
sefwch, *meddant;* ac ni bydd ‡ a edrycho
yn ol.
9 Ysglyfaethwch arian, ysglyfaethwch
aur; § canys nid *oes* diben ar y 'stor, *a'r* go-
goniant o bob dodrefn dymunol.
10 Gwag, a gorwag, ac anrheithiedig yw
hi, a'r [d] galon yn toddi, a'r [e] gliniau yn
taro ynghŷd, ac anhwyl ar bob lwynau,
[f] *a'u* hwynebau oll a gasglant barddu.
11 Pa le *y mae* trigfa 'r llewod, a phorfa 'r
cenawon y llewod? lle y rhodiai y llew, *sef*
yr hen lew, *a'r* cenaw llew, ac nid *oedd*
a'*u* tarfai?
12 Y llew a ysglyfaethodd ddigon i'w ge-
nawon, ac a dagodd i'w lewesau, ac a lan-
wodd ag ysglyfaeth ei ffau, a'i loches ag ys-
pail.
13 Wele fi yn dy erbyn, medd AR-
GLWYDD y lluoedd; a mi a losgaf ei cher-
bydau yn y mŵg, a'r cleddyf a ddifa dy
lewod ieuaingc; a thorraf ymaith o'r ddaear
dy ysglyfaeth, ac ni chlywir mwy lais dy
genhadau.

† Neu, *drylliwr.*
[a] Jer. 51. 11, 12.
[b] Esay 10. 12.
‡ Neu, *falchder.*
§ Neu, *a balchder*
[c] Psal. 18. 12. Hos. 10. 1.
|| Heb. *thân lampau.*
† Heb. *gorchudd, neu, gorchuddiwr.*
‡ Neu, *dawdd.*
§ Neu, *A'r hwn a sefydlwyd, neu, safwyd, a chaeth-gludir hi, &c.*
|| Neu, *ddatguddir.*
† Neu, *er y dyddiau y bu.*
‡ Neu, *a'i dychwelo.*
§ Neu, *a'i hanfeidrol hëmar.*
[d] Esay 13. 7, 8.
[e] Dan. 5. 6.
[f] Joel 2. 6.

## PEN. III.

*Gofidus gwymp Ninefeh.*

Medi 14. B. Cylch 713.

GWAE ddinas [a] y gwaed; llawn cel-
wydd *ac* yspail ydyw i gyd, a'r ysglyf-
aeth heb ymado.
2 *Bydd* swn y ffrewyll, a swn cynnwrf

[a] Ezec. 24. 6, 9. Hab. 2. 12.

olwynion, a'r march yn prangcio, a'r cerbyd
yn neidio.
3 Y marchog sydd yn codi † ei gleddyf
gloyw, a'i ddisglair waywffon: lliaws o
laddedigion, ac aneirif o gelanedd; a heb
ddiwedd ar y cyrph: tripiant wrth eu cyrph
hwynt:
4 O herwydd aml butteindra y buttain
dêg, meistres [b] swynion, yr hon a werth
genhedloedd trwy ei phutteindra, a theu-
luoedd trwy ei swynion.
5 Wele fi i'th erbyn, medd ARGLWYDD
y lluoedd, a [c] datguddiaf dy odre ar dy
wyneb, a gwnaf i genhedloedd weled dy
noethni, ac i deyrnasoedd dy warth.
6 A thaflaf ffiaidd bethau arnat, a gwnaf
di yn wael, a gosodaf di yn ddrych.
7 A bydd i bawb a'th welo ffoi oddi
wrthyt, a dywedyd, Anrheithiwyd Ninefeh,
pwy a gwyna iddi? O ba le y ceisiaf ddi-
ddanwŷr it'?
8 [d] Ai gwell ydwyt nâ [e] No ‡ dylwythog,
yr hon a osodir rhwng yr afonydd, ac a
amgylchir â dyfroedd, i'r hon *y mae*'r môr
yn rhagfur, *a*'i mur o'r môr?
9 Ethiopia *oedd* ei chadernid, a'r Aipht,
ac aneirif: Put a Lubim oedd yn gyn-
horthwy i ti.
10 Er hynny hi a ddygpwyd ymaith, hi a
gaeth-gludwyd; [f] *a*'i phlant bychain a ddry-
lliwyd ym mhen pob heol; ac am ei phende-
figion y bwriasant goel-brennau, a'i holl wŷr
mawr a rwymwyd mewn gefynnau.
11 Tithau hefyd [g] a feddwi; byddi
guddiedig, ceisi hefyd gadernid rhag y
gelyn.
12 Dy holl ymddiffynfeydd *fyddant fel*
[h] ffigyswŷdd a'u blaenffrwyth arnynt: o's
ysgydwir hwynt, syrthiant yn safn y bwyt-
tawr.
13 Wele [i] dy bobl yn wragedd yn dy
ganol di: pyrth dy dir a agorir i'th elynion;
tân a ysodd dy farrau.
14 Tyn it' ddwfr i'r gwarchae, [k] ca-
darnhâ dy ymddiffynfeydd; dos i'r dom,
sathr y clai, cryfhâ 'r odyn briddfaen.
15 Yno y tân a'th ddifa, y cleddyf a'th
dyrr ymaith, efe a'th ysa di fel pryf y
rhwd; ymlïosoga fel pryf y rhwd, ymlïoso-
ga fel y ceiliog rhedyn.
16 Amlheaist dy farchnadwŷr rhagor ser
y nefoedd: § difwynodd pryf y rhwd, ac
ehedodd ymaith.
17 Dy rai coronog *sydd* fel y locustiaid,
a'th dywysogion fel y ceiliogod rhedyn
mawr, y rhai a wersyllant yn y caeau ar
y dydd oerfelog, *ond* pan gyfodo 'r haul,
hwy a ehedant ymaith, ac ni adwaenir eu
man lle *y maent*.
18 [l] Dy fugeiliaid, brenhin Assyria, a
heppiant, a'th ‖ bendefigion a † orweddant;
gwasgerir dy bobl ar y mynyddoedd ac ni
*bydd a'u* casglo.
19 Ni thynnir dy archoll ynghŷd, clwyf-
us yw dy weli: pawb a glywo son am-
danat a gurant eu dwylaw arnat; o her-
wydd pwy nid aeth dy ddrygioni drosto bob
amser?

† Heb. *fflammychiad y cleddyf, a mellten-niad y waywffon.*
[b] Esay 47. 9, 12.
[c] Esay 47. 2, 3. Jer. 13. 22, 26. Ezec. 16. 37.
[d] Amos 6. 2.
[e] Jer. 46. 25.
‡ Neu, *fagat.* Heb. *No Amon.*
[f] Psal. 137. 9. Esay 13. 16. Hos. 13. 16.
[g] Jer. 25. 17.
[h] Dat. 6. 13.
[i] Jer. 50. 37. & 51. 30.
[k] Pen. 2. 1.
§ Neu, *ymwasgarodd.*
[l] Exod. 15. 16. Psal. 76. 6.
‖ Neu, *ddewrion.*
† Neu, *drigant yn y llwch.*

# ¶ LLYFR HABACUC.

## PEN. I.

1 *Habacuc yn achwyn rhag anwiredd y wlad, 5 ac yn cael dangos iddo y dialedd erchyll a ddoi trwy 'r Caldeaid: 12 ac yn cwyno bod yn dialeddu ar y bobl trwy rai oedd lawer gwaeth nâ hwynt-hwy eu hunain.*

Cyn Crist cylch 626.

Y Baich a welodd y prophwyd Ha-
bacuc.
2 Pa hŷd, ARGLWYDD, y gwaeddaf, ac
ni's gwrandewi! y bloeddiaf arnat *rhag* trais,
ac nid achubi!
3 Pa ham y gwnei im' weled anwiredd,
ac y peri *im'* edrych ar flinder? anrhaith
a thrais *sydd* o'm blaen i; ac y mae a gyfyd
ddadl ac ymryson.
4 Am hynny yr oedir cyfraith, ac nid
â barn allan byth: am fod [a] y drygionus yn
amgylchu 'r cyfiawn; am hynny cam farn á
â allan.
5 ¶ [b] Gwelwch ym mysg y cenhedl-
oedd, ac edrychwch, rhyfeddwch yn aruthr-
ol: canys gweithredaf weithred yn eich dy-
ddiau, ni choeliwch er ei mynegi *i chwi*.
6 Canys wele fi yn codi 'r Caldeaid, ce-
nedl chwerw a phrysur, yr hon a rodia
ar hŷd lled y tir, i feddiannu cyfanneddl-
oedd nid *yw* eiddynt.
7 Y *maent* i'w hofni ac i'w harswydo:
† o honynt eu hun y daw allan eu barn a'u
rhagoriaeth.
8 A'u meirch sydd fuanach nâ'r llew-
pardiaid, a llymmach ydynt nâ [c] bleiddiau 'r
hwyr: eu marchogion hefyd a ymdanant,
a'u marchogion a ddeuant o bell; [d] ehedant
fel eryr yn brysuro at fwyd.
9 Hwy a ddeuant oll i dreisio; ‡ ar
gyfer eu hwyneb *y bydd* gwynt y dwy-
rain, a hwy a gasglant gaethion fel y
tywod.
10 A hwy a watwarant frenhinoedd, a
thywysogion *a fyddant* watwargerdd idd-
ynt: hwy a watwarant yr holl gestyll, ac
a gasglant lwch, ac a'i goresgynant.
11 Yna y newidia ei feddwl, ac yr â
trosodd, ac a drosedda, *gan ddiolch am* ei
rym yma i'w dduw *ei hun*.
12 ¶ [e] Onid *wyt* ti er tragywyddoldeb,
O ARGLWYDD fy NUW, fy Sanctaidd?
ni byddwn feirw. O ARGLWYDD, [f] ti
a'u gosodaist hwy i farn, ac a'u § sicrheaist,
O ‖ DDUW, i gospedigaeth.
13 [g] *Ydwyt* lanach dy lygaid nag y *gelli*
edrych ar ddrwg, ac ni elli edrych ar
† anwiredd: pa ham yr edrychi ar yr
anffyddloniaid, *ac* y tewi pan lyngco 'r an-
wir *un* cyfiawnach nag ef ei hun?
14 Ac y gwnei ddynion fel pysgod y môr,
fel yr ‡ ymlusgiaid heb lywydd arnynt?
15 [h] Cyfodant hwynt oll â'r bâch;
casglant hwynt yn eu rhwyd, a chyn-
hullant hwynt yn eu ballegrwyd: am
hynny hwy a lawenychant ac a ymddig-
rifant.
16 Am hynny 'r [i] aberthant i'w rhwyd,
ac y llosgant arogl-darth i'w ballegrwyd:
canys trwyddynt hwy y mae eu rhan yn
dew, a'u bwyd yn fras.
17 A gânt hwy gan hynny dywallt eu
rhwyd, ac nad arbedont ladd y cenhedloedd
yn wastadol?

Medi 14. 7.
[a] Job 21. 7. Jer. 12. 1.
[b] Esay 29. 14. Act. 13. 41.
† Neu, *o honynt hwy y daw allan farn y rhai hyn, a chaeth-glud y rhai hyn.*
[c] Jer. 5. 6. Seph. 3. 3.
[d] Jer. 4. 13.
‡ Neu, *eu hwynebau a lymmeidia fel gwynt, &c.* Heb. *cyfeiriad eu hwynebau tu a gwynt, &c.* neu, *eu hwynebau a edrych tu a'r dwyrain.*
[e] Galar. 5. 19.
[f] 2 Bren. 19. 25. Esay 10. 5, 6, 7.
§ Heb. *sylfaenaist.*
‖ Heb. *Graig,* Deut. 32. 4.
[g] Psal. 5. 5.
† Neu, *ond.*
‡ Neu, *ymsymmudiaid.*
[h] Amos 4. 2.
[i] Esay 10. 13.

## PEN. II.

1 *I Habacuc, yn disgwyl am atteb, y dangosir y bydd rhaid iddo ddisgwyl trwy ffydd. 5 Y barnedigaethau a ddaw ar y Caldeaid am eu hannigonolrwydd, 9 a'u trachwant, 12 a'u creulondeb, 15 a'u meddwdod, 18 a'u delw-addoliaeth.*

[a] SAFAF ar fy nisgwylfa, ac ymsefydlaf
† ar y tŵr, a gwyliaf, i edrych beth a
ddywed efe ‡ wrthyf, a pha beth a attebaf
pan § y'm cerydder.
2 A'r ARGLWYDD a attebodd ac a ddy-
wedodd, [b] Ysgrifena 'r weledigaeth, a gwna
hi yn eglur ar lechau, fel y rhedo 'r hwn a'i
darlleno.
3 Canys [c] y weledigaeth *sydd* etto dros
amser gosodedig, ond hi a ddywed o'r di-
wedd, ac ni thwylla: os erys, disgwyl am
dani; canys [d] gan ddyfod y daw, nid oeda.
4 Wele, *yr hwn* a ymchwydda, nid yw
uniawn ei enaid ynddo: ond [e] y cyfiawn a
fydd byw trwy ei ffydd.
5 ¶ ‖ A hefyd gan ei fod yn troseddu
trwy win, gwr balch *yw efe*, ac heb aros
gartref, yr hwn a helaetha ei feddwl [f] fel
uffern, ac *y mae* fel angau, ac ni's digonir;
ond efe a gasgl atto 'r holl genhedloedd, ac
a gynnull atto 'r holl bobloedd.
6 Oni chyfyd y rhai hyn oll yn ei erbyn
ddïareb, a gair du yn ei erbyn, a dywedyd,
† Gwae a helaetho *y peth* nid *yw* eiddo: pa
hŷd? a'r neb a lwytho arno ei hun y clai
tew.
7 Oni chyfyd yn ddisymmwth y rhai a'th
frathant, ac oni ddeffry y rhai a'th gystudd-
iant, a thi a fyddi yn ‡ wasarn iddynt?
8 [g] Am it' yspeilio cenhedloedd lawer,
holl weddill y bobloedd a'th yspeilia dithau:
[h] am waed dynion, ac *am* y trais ar y tir, ar
y ddinas, ac ar oll a drigant ynddi.
9 ¶ [i] Gwae a § elwo elw drwg i'w dŷ,
i osod ei nyth yn uchel, i ddïangc o ‖ law 'r
drwg.
10 Cymmeraist gyngor gwarthus i'th dŷ,
wrth ddistrywio pobloedd lawer; pechaist
*yn erbyn* dy enaid.
11 O herwydd y garreg a lefa o'r mur,
a'r † trawst ‡ a'i hettyb o'r *gwaith* coed.
12 ¶ [k] Gwae a adeilado dref trwy waed,
ac a gadarnhao ddinas mewn anwiredd.
13 Wele, onid oddi wrth ARGLWYDD
y lluoedd *y mae*, [l] bod i'r bobl ymflino yn
y tân, ac i'r cenhedloedd ymddiffygio § am
wir wagedd?
14 Canys [m] y ddaear a lenwir ‖ o wy-
bodaeth gogoniant yr ARGLWYDD, fel y
toa 'r dyfroedd y môr.
15 ¶ Gwae a roddo ddïod i'w gym-
mydog: yr hwn ydwyt yn rhoddi *iddo* dy
gostrel, ac yn *ei* feddwi hefyd, er cael gweled
eu noethni hwynt.
16 Llanwyd di o warth † yn lle gogon-
iant; [n] yf dithau hefyd, a noethir dy flaen-
groen: ymchwel cwppan deheulaw 'r AR-
GLWYDD attat ti, a chwydiad gwarthus *fydd*
ar dy ogoniant.
17 Canys trais Libanus a'th orchuddia;
ac anrhaith yr anifeiliaid, *yr hwn* a'u dy-
chrynodd hwynt [o] o achos gwaed dynion,
a thrais y tir, y ddinas ac oll a drigant
ynddi.
18 ¶ Pa les a wna i'r ddelw gerfiedig,
ddarfod i'w lluniwr ei cherfio; i'r ddelw
dawdd, ac [p] athro celwydd, fod lluniwr ei
‡ waith yn ymddiried ynddo, i wneuthur
eilunod mudion?
19 Gwae a ddywedo wrth bren, Deffro;
wrth garreg fud, Cyfod, efe a rydd addysg:
wele, gwisgwyd ef ag aur ac arian, a dim
anadl nid *oes* o'i fewn.
20 Ond [q] yr ARGLWYDD *sydd* yn ei deml
sanctaidd: [r] y ddaear oll, § gostega di ger
ei fron ef.

Medi 15. B. Sul 21 ar ol y Drindod, B
Cylch 626.
[a] Esay 21. 8, 11.
† Heb. *yn warchglawdd.* *(uncertain)*
‡ Neu, *ynof.*
§ Neu, *ddadleuer â mi.* Heb. *ar fy ngherydd*, neu, *fy argyhoeddiad.*
[b] Esay 8. 1. a 30. 8.
[c] Dan. 10. 14.
[d] Heb. 10. 37.
[e] Ioan 3. 36. Rhuf. 1. 17. Galat. 3. 11. Heb. 10. 38.
‖ Neu, *Pa faint mwy.*
[f] Diar. 27. 20. a 30. 16.
† Neu, *Ho yr hwn sy yn helaethu.*
‡ Neu, *ysglyfaeth.*
[g] Esay 33. 1.
[h] Adn. 17.
[i] Jer. 22. 13.
§ Neu, *chwennycho ddrygchwant.*
‖ Heb. *gledr llaw y drwg.*
† Neu, *darn*, neu, *cyswllt.*
‡ Neu, *a dystiolaetha i'w herbyn.*
[k] Jer. 22. 13. Ezec. 24. 9. Nah. 3. 1.
[l] Jer. 51. 58.
§ Neu, *yn ofer.*
[m] Esay 11. 9.
‖ Neu, *trwy adnabod.*
† Neu, *yn fwy nag o ogoniant.*
‡ Heb. *lun.*
[q] Psal. 11. 4.
[r] Seph. 1. 7. Zech. 2. 13.
§ Neu, *gosteged ger ei, &c.*

## PEN. III.

1 *Habacuc yn ei weddi yn crynu gan fawrhydi Duw.* 17 *Hyder ei ffydd ef.*

GWEDDI Habacuc y prophwyd, † ar
Sigionoth.
2 Clywais, O ARGLWYDD, dy ‡ air,
*ac* ofnais: O ARGLWYDD, § bywhâ dy
waith ynghanol y blynyddoedd, par wybod
ynghanol y blynyddoedd; yn *dy* lid cofia
drugaredd.
3 Duw [a] a ddaeth ‖ o Teman, a'r Sanct-
aidd o fynydd Paran. Selah. Ei ogoniant a
dodd y nefoedd, a'r ddaear a lanwyd o'i
fawl.
4 A'i lewyrch oedd fel goleuni: *yr oedd*
† cyrn iddo *yn dyfod* allan o'i ‡ law; ac yno
*yr oedd* cuddiad ei grytder.
5 [b] Aeth yr haint o'i flaen ef, ac aeth
§ marwor tanllyd allan wrth ei draed ef.
6 Safodd, a mesurodd y ddaear; edrych-
odd, a gwasgarodd y cenhedloedd: y my-
nyddoedd tragywyddol hefyd a ddrylliwyd,
a'r bryniau oesol a grymmasant: llwybrau
tragywyddol *sydd* iddo.
7 Dan ‖ gystudd y gwelais wersyllau
† Cuwsan: crynodd llenni tir Midian.
8 A sorrodd yr ARGLWYDD wrth yr afon-
ydd? ai wrth yr afonydd *y mae* dy ddig?
ai wrth y môr *y mae* dy ddigofaint, gan it'
farchogaeth ar dy feirch, ‡ *ac* ar gerbydau
dy iachawdwriaeth?
9 Llwyr noethwyd dy fwa, *yn ol* llwon y
llwythau, *sef dy* air *di*. Selah, Holltaist § y
ddaear ‖ ag afonydd.
10 [c] Y mynyddoedd a'th welsant, *ac* a
grynasant; y llifeiriant dwfr a aeth heibio;
y dyfnder a † wnaeth dwrf; cyfododd *hefyd*
ei ddwylaw yn uchel.
11 Yr haul *a'r* lleuad [d] a safodd yn eu
preswylfa; ‡ wrth oleuad dy [e] saethau yr
aethant, *ac* wrth lewyrch dy waywffon
ddisglair.
12 Mewn llid y cerddaist y ddaear, a
dyrnaist y cenhedloedd mewn digter.
13 Aethost allan er iachawdwriaeth i'th
bobl, er iachawdwriaeth ynghŷd â'th en-
neiniog: [f] torraist y pren allan o dŷ 'r an-
wir, gan ddinoethi 'r sylfaen hyd y gwddf.
Selah.
14 Trywenaist ben ei faes-drefydd â'i ffyn
ei hun; § rhyferthwyasant i'm gwasgaru;
ymlawenhasant, megis i fwytta 'r tlawd mewn
dirgelwch.
15 Rhodiaist â'th feirch trwy 'r môr, *trwy*
‖ bentwr o ddyfroedd mawrion.
16 Pan glywais, fy mol a ddychrynodd;
fy ngwefusau a grynasant wrth y llef: daeth
pydredd i'm hesgyrn, ac yn fy lle y crynais,
fel y gorphwyswn yn nydd trallod: pan
ddêl efe i fynu at y bobl, efe a'u † difetha
hwynt â'i fyddinoedd.
17 ¶ Er i'r ffigysbren na flodeuo, ac
na *byddo* ffrwyth ar y gwinwŷdd; gwaith
yr olewŷdd ‡ a balla, a'r meusydd ni roddant

Medi 15. P.
Cylch 626.
† Neu, *yn ol caniadau (neu, dôniau) cyfnewidiol, a elwir Sigionoth.* Psal. 7. in.
‡ Neu, *son.* Heb. *wrandawiad.*
§ Neu, *cadw yn fyw.*
[a] Deut. 33. 2. Barn. 5. 4. Psal. 68. 7.
‖ Neu, *o'r deau.*
† Neu, *disglair belydr iddo.*
‡ Neu, *ystlys.*
[b] Nah. 1. 3. Deut. 32. 24.
§ Neu, *cryd poeth*, neu, *clefydau gwres.*
‖ Neu, *ddiddym*, neu, *augcdd.*
† Neu, *Ethiopia.*
‡ Neu, *a'th gerbydau oedd iachawdwriaeth.*
§ Neu, *afonydd ddaear.*
‖ Neu, *yn afonydd.*
[c] Psal. 77. 18. a 114. 4.
Mich. 1. 4.
† Heb. *rhedes ei lef.*
[d] Ios. 10. 12.
‡ Neu, *yn y goleuni y rhodiodd dy saethau.*
[e] Ios. 10. 11.
[f] Psal. 68. 21.

[n] Jer. 25. 26. a 51. 57. [o] Adn. 8. [p] Jer. 10. 8, 14. Zech. 10. 2.

§ Neu, *daethant allan fel corwynt i'm gwasgaru.* ‖ Neu, *laid.* † Neu, *dryllia.* ‡ Heb. *a ddyweid gelwydd.*

fwyd; torrir ymaith y praidd o'r gorlan, ac
ni *bydd* eidion yn eu beudai:
18 Etto mi a lawenychaf yn yr Ar-
glwydd; byddaf hyfryd yn Nuw fy ia-
chawdwriaeth.

19 Yr Arglwydd Dduw *yw* fy g 2 Sam. 22. 34.
nerth, g a'm traed a wna efe fel *traed* Psal. 18. 33.
ewigod; ac efe a wna im' rodio ar fy † Heb.
uchel-leoedd. I'r pencerdd ar fy † offer *neginoth.*
tannau. Psal. 4. tit.

---

# ¶ LLYFR SEPHANIAH.

## PEN. I.

Medi 16. B. *Dirgel farn Duw ar Judah am amryw be-
chodau.*

Cyn Crist cylch 630.
GAIR yr Arglwydd yr hwn a dda-
eth at Sephanïah fab Cusi, fab Ge-
dalïah, fab Amarïah, fab Hezecïah, yn am-
ser Josïah fab Amon brenhin Judah.
2 Gan ddistrywio y distrywiaf bob dim
oddi ar wyneb y ddaear, medd yr Ar-
glwydd.
a Hos. 4. 3. 3 a Distrywiaf ddyn ac anifail; distryw-
b Ezec. 14. 3, 7. iaf adar yr awyr, a physgod y môr; b a'r
tramgwyddiadau ynghŷd â'r annuwiolion;
a thorraf ymaith ddyn oddi ar wyneb y
ddaear, medd yr Arglwydd.
4 Estynaf hefyd fy llaw ar Judah, ac ar
c Cyflawnwyd holl breswylwŷr Jerusalem; a c thorraf
2 Bren. 23. 5. ymaith o'r lle hwn weddill Baal, *ac* enw d y
Chemariaid â'r offeiriaid;
624. 5 A'r neb e a ymgrymmant ar bennau'r
d Hos. 10. 5. tai i lu'r nefoedd; a'r addolwŷr y rhai f a
e 2 Bren. dyngant † i'r Arglwydd, a hefyd g a dyn-
23. 12. gant i Malcham;
Jer. 19. 13. 6 h A'r rhai a giliant oddi ar ol yr Ar-
f Esay 48. 1. glwydd; a'r *rhai* ni cheisiasant yr Ar-
Hos. 4. 15. glwydd, ac nid ymofynasant am dano.
† Neu, 7 i Distawa ger bron yr Arglwydd
*mynyr* Dduw: canys agos *yw* dydd yr Ar-
*Argl.* glwydd: o herwydd k arlwyodd yr Ar-
g Jos. 23. 7. glwydd aberth, ‡ gwahoddodd ei wahod-
h Esay 1. 4. dedigion.
Jer. 15. 6. 8 A bydd, ar ddydd aberth yr Ar-
i Hab. 2. 20. glwydd, i mi ymweled l â'r tywysogion, ac
Zech. 2. 13. â phlant y brenhin, ac â phawb a wisgant
k Esay 34. 6. wisgoedd dïeithr.
9 Ymwelaf hefyd â phawb a neidiant ar
Jer. 46. 10. y rhiniog y dydd hwnnw, y sawl a lanwant
Ezec. 39. 17. dai eu meistr â thrais ac â thwyll.
Dat. 19. 17. 10 A'r dydd hwnnw, medd yr Ar-
‡ Heb. glwydd, *y bydd* llais gwaedd o borth y
*sancteiddiodd*, neu, pysgod, ac udfa o'r ail, a drylliad mawr o'r
*parottôdd.* bryniau.
l Jer. 39. 6. 11 Udwch, breswylwŷr Machtes: canys
torrwyd ymaith yr holl bobl o farchnad-
yddion; a holl gludwŷr arian a dorrwyd
ymaith.
12 A'r amser hwnnw y chwiliaf Jerusalem
â llusernau, ac yr ymwelaf â'r dynion sydd
m Jer. 48. 11. m yn ceulo ar eu sorod; y rhai a ddywedant
yn eu calon, Ni wna'r Arglwydd dda, ac
ni wna ddrwg.
13 Am hynny eu cyfoeth a â yn yspail,
n Deut. 28. a'u teiau yn anghyfannedd: n adeiladant
30, 39. hefyd dai, ond ni's preswyliant *ynddynt*;
Amos 5. 11. a phlannant winllannoedd, ond nid yfant
o'r gwin.
14 Agos *yw* mawr ddydd yr Arglwydd,
agos a phrysur iawn, *sef* llais dydd yr
Arglwydd: yno y bloeddia'r dewr yn
chwerw.
o Jer. 30. 7. 15 o Diwrnod llidiog *yw*'r diwrnod
Joel 2. 2, hwnnw, diwrnod trallod a chyfyngdra,
11. diwrnod dinystr ac anghyfannedd-dra, diwr-
Amos 5. 18. nod tywyll a du, diwrnod cymmylau a
thywyllni,
16 Diwrnod udgorn a larwm yn erbyn y
dinasoedd caerog, ac yn erbyn y tyrau
uchel.
17 A mi a gyfyngaf ar ddynion, a hwy
a rodiant megis deillion, am bechu o honynt
yn erbyn yr Arglwydd; a'u gwaed a dy-
welltir fel llwch, a'u cnawd fel tom.
18 p Nid eu harian na'u haur *chwaith* a p Diar. 11.
ddichon eu hachub hwynt ar ddiwrnod llid 4.
yr Arglwydd; ond â thân ei eiddigedd Ezec. 7. 19.
ef q yr ysir yr holl dir: canys gwna'r q Pen. 3. 8.
*Arglwydd* ddiben prysur ar holl breswylwŷr
y ddaear.

## PEN. II.

1 *Annog i edifeirwch.* 4 *Barn y Philistiaid,* Medi 16.
8 *a'r Moabiaid ac Ammon,* 12 *ac Ethiopia* P.
*ac Assyria.*

YMGESGLWCH, ïe, deuwch ynghŷd, Cylch
genedl † anhawddgar; 630.
2 Cyn i'r ddeddf esgor, *cyn* i'r dydd † Neu,
fyned heibio fel peiswyn, cyn dyfod ar- *anhygar*
noch lid digofaint yr Arglwydd, cyn neu, *heb*
dyfod arnoch ddydd sorriant yr Ar- *chwennychu.*
glwydd.
3 Ceisiwch yr Arglwydd, holl rai lla-
riaidd y ddaear, y rhai a wnaethant ei farn
ef; ceisiwch gyfiawnder, ceisiwch larieidd-
dra: a fe allai y cuddir chwi yn nydd digo- a Joel 2. 14.
faint yr Arglwydd. Amos 5. 15.
4 ¶ Canys bydd b Gaza yn wrthodedig, Ioan 3. 9.
ac Ascelon yn anghyfannedd: gyrrant allan b Jer. 47. 4, 5.
Asdod hanner dydd, a diwreiddir Ecron. Ezec. 25.
5 Gwae breswylwŷr glan y môr, cenedl 15.
y Cerethiaid; *y mae* gair yr Arglwydd Amos 1. 6.
i'ch erbyn: O c Canaan gwlad y Philist- Zech. 9. 5.
iaid, mi a'th ddifethaf, fel na byddo cyfan- c Jos. 13. 3.
neddwr.
6 A bydd glan y môr yn drigfaau *ac*
yn fythod i fugeiliaid, ac yn gorlannau
defaid.
7 A bydd y fro yn rhan i weddill tŷ Ju-
dah; porant arnynt: yn nheiau Ascelon y
gorweddant yn yr hwyr: ‡ canys yr Ar- ‡ Neu,
glwydd eu Duw a ymwêl â hwynt, ac a *pan ymwelo yr*
ddychwel eu caethiwed. *Arglwydd*
8 ¶ d Clywais waradwyddiad Moab, a *eu Duw â*
chabledd meibion Ammon, â'r hwn y *hwynt, a*
gwaradwyddasant fy mhobl, ac e yr *ym-* *dychwelyd,*
*fawrygasant* yn erbyn eu terfynau hwynt. &c.
9 Am hynny *fel mai* byw fi, medd Ar- d Jer. 48. 27.
glwydd y lluoedd, Duw Israel, Fel So- e Jer. 49. 1.
dom y bydd f Moab, a g meibion Ammon f Esay 15.
fel Gomorrah: danhadl-dir, a phyllau halen, Jer. 48.
ac anghyfanneddle tragywyddol: gweddill Ezec. 25. 8.
fy mhobl a'u difroda, a gweddill fy nghe- Amos 2. 1.
nedl a'u meddianna hwynt. g Amos 1. 13.
10 Hyn a ddaw iddynt h am eu balch- h Esay 16.
der, am iddynt waradwyddo ac *ymfawr-* 6.
ygu yn erbyn pobl Arglwydd y llu- Jer. 48. 29.
oedd.
11 Ofnadwy *a fydd* yr Arglwydd idd-
ynt: canys efe a § newyna holl dduwiau'r § Heb.
ddaear; ac addolant ef bob un o'i fan, *sef* *gulha.*
holl ynysoedd y cenhedloedd.
12 ¶ i Chwithau hefyd, yr Ethiopiaid, a i Esay 18.
leddir â'm cleddyf. 1. a 20. 4.
Ezec. 30. 9.



Q q

13 Ac efe a estyn ei law yn erbyn y gog-
ledd, ac [k] a ddinistria Assyria, ac a wna Ni-
nefeh yn anghyfannedd, ac yn sych fel
diffeithwch.
14 A diadellau a orweddant yn ei chanol
hi, holl anifeiliaid y cenhedloedd: [l] y
pelican a'r dylluan hefyd a lettyant ar gap
y drws; eu llais a gân yn y ffenestri, anghyf-
annedd-dra a fydd yn y gorsingau: † canys
efe a ddinoetha y cedr-waith.
15 Hon yw'r ddinas hoyw [m] oedd yn tri-
go yn ddiofal, yn dywedyd yn ei chalon,
Myfi sydd, ac nid oes ond myfi: pa fodd yr
aeth yn anghyfannedd, yn orweddfa anifeil-
iaid! pawb a'r a êl heibio iddi, [n] a'i hwtia,
ac a ysgwyd ei law arni.

[k] Esay 10. 5, 12. Jer. 31. 3. Nah. 1. 1. a 2. 10. a 3. 15.
[l] Esay 34. 11, 14.
† Neu, pan ddinoetho.
[m] Esay 47. 8.
[n] Job 27. 23. Galar. 2. 15.

## PEN. III.

1 *Test-lym gerydd Jerusalem am amryw bechodau. 8 Annog i ddisgwyl am adferiad Israel, 14 ac i lawenychu o achos eu hymwared gan Dduw.*

GWAE'r † fudr a'r halogedig, y ddinas
orthrymmus.
2 Ni wrandawodd ar y llef, ni dderbyn-
iodd ‡ gerydd; nid ymddiriedodd yn yr
ARGLWYDD, ni nesaodd at ei DDUW.
3 [a] Ei thywysogion o'i mewn *sydd* yn
llewod rhuadwy; ei barnwŷr [b] yn fleidd-
iau yr hwyr, § ni adawant asgwrn erbyn y
bore.
4 Ei [c] phrophwydi *sydd* ysgafn, yn wŷr
anffyddlon: [d] ei hoffeiriaid a halogasant y
cyssegr, treisiasant y gyfraith.
5 [e] Yr ARGLWYDD cyfiawn [f] *sydd* yn ei
chanol; ni wna efe anwiredd: ‖ yn fore y
dwg ei farn i oleuni, ni phalla; ond [g] yr
anwir ni fedr gywilyddio.
6 Torrais ymaith y cenhedloedd: eu † ty-
rau sydd anghyfannedd; diffaethiais eu he-
olydd, fel nad elo neb heibio; eu dinasoedd
a ddifwynwyd, heb wr, a heb drigiannol.
7 Dywedais, Yn ddiau ti a'm hofni; der-
byni gerydd: felly ei thrigfa ni thorrid
ymaith, pa fodd bynnag yr ymwelais â hi:
etto bore-godasant, *a* llygrasant eu holl wei-
thredoedd.
8 ¶ Am hynny disgwyliwch arnaf fi, medd
yr ARGLWYDD, hyd y dydd y cyfodwyf i'r
ysglyfaeth: canys ‡ fy marn *sydd* ar gyn-
null y cenhedloedd, ar gasglu'r teyrnas-
oedd, i dywallt arnynt fy llid, holl angerdd
fy nigofaint: canys â thân fy eiddigedd
[h] yr ysir yr holl ddaear.
9 O herwydd yna yr adferaf i'r bobl
[i] wefus bur, fel y galwo pob un o honynt
ar enw'r ARGLWYDD, i'w wasanaethu ef ag
un ysgwydd.
10 O'r [k] tu hwnt i afonydd Ethiopia y
dwg fy ngweddiwŷr, *sef* merch fy ngwas-
garedig, fy offrwm.
11 Y dydd hwnnw ni'th waradwyddir am
dy holl weithredoedd, yn y rhai y pech-
aist i'm herbyn: canys yna y symmudaf
o'th blith y neb sydd yn hyfryd ganddynt
dy falchder, fel nad ymddyrchafech mwy-
ach yn fy mynydd sanctaidd.
12 Gadawaf ynot hefyd [l] bobl druain
dlodion, ac yn enw'r ARGLWYDD y gobei-
thiant hwy.
13 Gweddill Israel ni wna anwiredd, ac
ni ddywedant gelwydd; ac ni cheir yn
eu geneuau dafod twyllodrus: canys hwy
a borant ac a orweddant, ac ni *bydd* a'u
tarfo.
14 ¶ [m] Merch Sïon, cân; Israel, crech-
wenna; merch Jerusalem, ymlawenycha a
gorfoledda â'th holl galon.
15 Tynnodd yr ARGLWYDD ymaith dy
farnau, bwriodd allan dy elynion: yr AR-
GLWYDD brenhin Israel [n] *sydd* yn dy ganol,
nid ofni ddrwg mwyach.
16 Y dydd hwnnw y dywedir wrth Jeru-
salem, Nac ofna; *wrth* Sïon, Na laesed dy
ddwylaw.
17 Yr ARGLWYDD dy DDUW yn dy
ganol di *sydd* gadarn: efe a achub, [o] efe a
lawenycha o'th blegid gan lawenydd; efe a
lonydda yn ei gariad, efe a ymddigrifa ynot
dan ganu.
18 Casglaf *y rhai sydd* brudd am y gym-
manfa, *y rhai* sydd o honot, *i'r rhai yr oedd*
§ ei gwaradwydd yn faich.
19 Wele, mi a ddifethaf yr amser hwnnw
bawb a'th flinant: ac [p] a achubaf y gloff,
a chasglaf y wasgaredig; ac a'u gosodaf yn
glodfawr, ac yn enwog, yn holl dir eu
gwaith.
20 Yr amser hwnnw y dygaf chwi *dra-
chefn*, yr amser y'ch casglaf: canys gwnaf
chwi yn enwog, ac yn glodfawr ym mysg
holl bobl y ddaear, pan ddychwelwyf eich
caethiwed o flaen eich llygaid, medd yr
ARGLWYDD.

Medi 17. E.
Cylch 630.
† Neu, loth. Heb. grombil.
‡ Neu, athrawiaeth.
[a] Ezec. 22. 27. Mich. 3. 9, 10, 11.
[b] Hab. 1. 8.
§ Neu, ni chnoant yr esgyrn hyd y bore.
[c] Jer. 23. 11, 32. Hos. 9. 7.
[d] Ezec. 22. 26.
[e] Deut. 32. 4.
[f] Adn. 15, 17.
‖ Neu, bob bore.
[g] Jer. 3. 3. a 6. 15. a 8. 12.
† Neu, conglau.
‡ Neu, fy mryd.
[h] Pen. 1. 18.
[i] Esay 19. 18.
[k] Esay 18. 1, 7. Act. 8. 27.
[l] Esay 14. 32. Zech. 11. 11.
[m] Esay 12. 6. a 54. 1. Zech. 9. 9.
[n] Adn. 5. 17.
[o] Jer. 32. 41.
§ Heb. y baich arni yw y gwaradwydd.
[p] Ezec. 34. 16. Mich. 4. 6, 7.

# ¶ LLYFR HAGGAI.

## PEN. I.

1 *Haggai yn beio ar y bobl am esgeuluso adeiladu y tŷ. 7 yn eu hannog hwy i'w adeiladu ef: 12 ac yn addaw cymmorth Duw iddynt, os gwnaent hynny yn ewyllysgar.*

YN [a] yr ail flwyddyn i'r brenhin Da-
rïus, yn y chweched mis, ar y dydd
cyntaf o'r mis, y daeth gair yr ARGLWYDD
trwy law Haggai y prophwyd at [b] Zoro-
babel fab Salathiel tywysog Judah, ac at Jo-
sua fab Josedec yr arch-offeiriad, gan ddy-
wedyd,
2 Fel hyn y llefara ARGLWYDD y llu-
oedd, gan ddywedyd, Y bobl hyn a ddywed-
ant, Ni ddaeth yr amser, yr amser i adeil-
adu tŷ'r ARGLWYDD.
3 Yna y daeth gair yr ARGLWYDD trwy
law Haggai y prophwyd, gan ddywedyd,
4 [c] Ai amser *yw* i chwi eich hunain drigo
yn eich tai byrddiedig, a'r tŷ hwn yn an-
ghyfannedd?
5 Fel hyn gan hynny yn awr y dywed
ARGLWYDD y lluoedd; † Ystyriwch eich
ffyrdd.
6 [d] Hauasoch lawer, a chludasoch ychy-
dig; bwytta yr ydych, ond nid hyd ddigon;
yfed, ac nid hyd fod yn ddiwall; ymwisga-
soch, ac nid hyd glydwr i neb; [e] a'r hwn a
ynnillo gyflog, sydd yn casglu cyflog i god
dyllog.
7 ¶ Fel hyn y dywed ARGLWYDD y
lluoedd; Ystyriwch eich ffyrdd.
8 Esgynwch i'r mynydd, a dygwch goed,
ac adeiledwch y tŷ; mi a ymfoddlonaf
ynddo, ac y'm gogoneddir, medd yr AR-
GLWYDD.
9 Edrychasoch am lawer, ac wele *yr oedd*

Medi 17. F.
Cyn Crist 520.
[a] Ezra 4. 24. a 5. 1. Zech. 1. 1.
[b] 1 Chron. 3. 17, 19.
[c] 2 Sam. 7. 2. Psal. 132. 3, &c.
† Heb. Gosodwch eich calonnau ar eich ffyrdd.
[d] Deut. 28. 38. Hos. 4. 10. Mich. 6. 14, 15.
[e] Zech. 8. 10.

yn ychydig; a phan y dygasoch adref,
† Neu, *chwythais ef ymaith.* † chwythais arno. Am ba beth? medd AR-
GLWYDD y lluoedd. Am fy nhŷ i yr hwn
*sydd* yn anghyfannedd, a chwithau yn rhe-
deg bawb i'w dŷ ei hun.
f Lef. 26. 19. Deut. 28. 23. 10 Am hynny gwaharddwyd i'r f nefoedd
oddi arnoch wlitho, a gwaharddwyd i'r
ddaear roddi ei ffrwyth.
g 2 Bren. 8. 2. 11 g Gelwais hefyd am sychder ar y
ddaear, ac ar y mynyddoedd, ac ar yr ŷd, ac
ar y gwin, ac ar yr olew, ac ar *yr hyn* a ddwg
y ddaear allan; ar ddyn hefyd, ac ar ani-
h Pen. 2. 17. fail, ac h ar holl lafur dwylaw.
12 ¶ Yna y gwrandawodd Zorobabel mab
Salathiel, a Josua mab Josedec yr arch-
offeiriad, a holl weddill y bobl, ar lais yr
ARGLWYDD eu DUW, ac ar eiriau Haggai
y prophwyd (megis yr anfonasai eu HAR-
GLWYDD DDUW hwynt ef) a'r bobl a ofna-
sant ger bron yr ARGLWYDD.
13 Yna Haggai cennad yr ARGLWYDD a
lefarodd trwy gennadwri'r ARGLWYDD
wrth y bobl, gan ddywedyd, *Yr wyf* fi gyd
â chwi, medd yr ARGLWYDD.
14 Felly y cynhyrfodd yr ARGLWYDD
yspryd Zorobabel fab Salathiel tywysog Ju-
dah, ac yspryd Josua fab Josedec yr arch-
offeiriad, ac yspryd holl weddill y bobl; a
hwy a ddaethant ac a weithiasant y gwaith
yn nhŷ ARGLWYDD y lluoedd eu DUW
hwynt:
15 Y pedwerydd dydd ar hugain o'r
chweched mis, yn yr ail flwyddyn i Ddarius
y brenhin.

PEN. II.

Medi 18. B. 1 *Y mae yn rhoi calon yn y bobl i weithio,*
*trwy addaw gogoniant mwy i'r ail deml nag*
*oedd yn y gyntaf.* 10 *Dan rith pethau*
*sanctaidd a phethau aflan, y mae'n dangos*
*fod eu pechodau hwy yn rhwystro'r gwaith.*
20 *Addewid Duw i Zorobabel.*

520 YN y seithfed *mis, ar* yr unfed *dydd* ar
hugain o'r mis, y daeth gair yr AR-
GLWYDD trwy law'r prophwyd Haggai, gan
ddywedyd,
2 Dywed yn awr wrth Zorobabel fab Sa-
lathiel tywysog Judah, ac wrth Josua fab
Josedec yr arch-offeiriad, ac wrth weddill
y bobl, gan ddywedyd.
a Ezra 3. 12. 3 a Pwy yn eich plith a adawyd yr hwn
a welodd y tŷ hwn yn ei ogoniant cyntaf?
a pha fodd y gwelwch chwi ef yr awr hon?
b Zech. 4. 10. b onid *yw* wrth hwnnw yn eich golwg fel
peth heb ddim?
c Zech. 8. 9. 4 Etto yn awr c ymgryfhâ, Zorobabel,
medd yr ARGLWYDD: ac ymgryfhâ, Jo-
sua mab Josedec yr arch-offeiriad; ac ym-
gryfhêwch, holl bobl y tir, medd yr AR-
GLWYDD, a gweithiwch: canys *yr ydwyf*
fi gyd â chwi, medd ARGLWYDD y llu-
oedd:
5 *Yn ol* y gair a ammodais â chwi pan
d Esay 63. 11. ddaethoch allan o'r Aipht, felly d yr erys fy
yspryd yn eich mysg: nac ofnwch.
6 Canys fel hyn y dywed ARGLWYDD y
e Adn. 21. Heb. 12. 26. lluoedd; e Unwaith etto, ennyd fechan *yw*,
a f mi a ysgydwaf y nefoedd, a'r ddaear, a'r
f Joel 3. 16. môr, a'r sychdir;
7 Ysgydwaf hefyd yr holl genhedloedd,
a dymuniant yr holl genhedloedd a ddaw:
llanwaf hefyd y tŷ hwn â gogoniant, medd
ARGLWYDD y lluoedd.
8 Eiddof fi'r arian, ac eiddof fi'r aur,
medd ARGLWYDD y lluoedd.
9 Bydd mwy gogoniant y tŷ diwaethaf
hwn nâ'r cyntaf, medd ARGLWYDD y llu-
oedd: ac yn y lle hwn y rhoddaf dangne-
fedd, medd ARGLWYDD y lluoedd.
10 ¶ Ar y pedwerydd *dydd* ar hugain o'r
nawfed *mis*, yn yr ail flwyddyn i Ddarius,
y daeth gair yr ARGLWYDD trwy law Hag-
gai y prophwyd, gan ddywedyd,
11 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y llu-
oedd; g Gofyn yr awr hon i'r offeiriaid y g Lef. 10. 11.
gyfraith, gan ddywedyd, Deut. 33.
12 Os dwg un gig sanctaidd ynghwrr ei 10.
wisg, ac â'i gwrr a gyffwrdd â'r bara, neu Mal. 2. 7.
â'r cawl, neu â'r gwin, neu â'r olew, neu â
ddim o'r bwyd, a fyddant hwy sanctaidd?
A'r offeiriaid a attebasant ac a ddywedasant,
Na *fyddant.*
13 A Haggai a ddywedodd, Os *un a fo*
h aflan gan gorph marw a gyffwrdd â dim h Num. 19.
o'r rhai hyn, a fyddant hwy aflan? A'r 11.
offeiriaid a attebasant ac a ddywedasant,
Byddant aflan.
14 Yna'r attebodd Haggai, ac a ddywed-
odd, i Felly *y mae*'r bobl hyn, ac felly *y* i Tit. 1. 15.
*mae*'r genhedlaeth hon ger fy mron, medd
yr ARGLWYDD; ac felly *y mae* holl waith
eu dwylaw, a'r hyn a aberthant yno, yn
aflan.
15 Ac yr awr hon meddyliwch, attolwg, o'r
diwrnod hwn *allan* a chynt, cyn gosod car-
reg ar garreg yn nheml yr ARGLWYDD;
16 Er pan oedd *y dyddiau* hynny k pan k Pen. 1. 9.
ddelid at dwrr o ugain *llestraid*, deg fyddai; Zech. 8. 10.
pan ddelid at y gwin-wryf i dynnu deg
*llestraid* a deugain o'r cafn, ugain a fyddai
yno.
17 ¶ l Tarewais chwi â diflanniad, ac â l Deut. 28. 22.
mallder, ac â chenllysg, m yn holl waith 1 Bren. 8.
eich dwylaw; a chwithau ni *throisoch* attaf 37.
fi, medd yr ARGLWYDD. Amos 4. 9.
18 Ystyriwch yr awr hon o'r dydd hwn, m Pen. 1.
ac er cynt o'r pedwerydd dydd ar hugain 11.
o'r nawfed *mis, ac* ystyriwch o'r dydd y
sylfaenwyd teml yr ARGLWYDD.
19 *A yw*'r had etto yn yr ysgubor? y
winwŷdden hefyd, y ffigysbren, a'r pom-
granad, a'r pren olewŷdd, ni ffrwythasant:
o'r dydd hwn allan y bendithiaf *chwi.*
20 ¶ A gair yr ARGLWYDD a ddaeth eil-
waith at Haggai ar y pedwerydd *dydd* ar
hugain o'r mis, gan ddywedyd,
21 Llefara wrth Zorobabel tywysog Judah,
gan ddywedyd, n Myfi a ysgydwaf y nef- n Adn. 6.
oedd a'r ddaear; 7.
22 A o mi a ymchwelaf deyrn-gadair teyr- Heb. 12. 26.
nasoedd, ac a ddinystriaf gryfdwr brenhin- o Mat. 24.
iaethau'r cenhedloedd; p ymchwelaf he- 7.
fyd y cerbydau, a'r rhai a eisteddant yn- p Mich. 5.
ddynt; a'r meirch a'u marchogion a syrth- 10.
iant, bob un gan gleddyf ei frawd. Zech. 4. 6. a 9. 10.
23 Y diwrnod hwnnw, medd ARGLWYDD
y lluoedd, y'th gymmeraf di, fy ngwas Zoro-
babel, mab Salathiel, medd yr ARGLWYDD,
q ac y'th wnaf fel sel: canys mi a'th ddewi- q Can. 8. 6.
sais di, medd ARGLWYDD y lluoedd.

# ¶ LLYFR ZECHARIAH.

## PEN. I.

Medi 18. P. 1 *Zechariah yn annog i edifeirwch.* 7 *Gweledigaeth y meirch.* 12 *Trwy weddi'r angel y gwneir addewidion cysurol i Jerusalem.* 18 *Gweledigaeth y pedwar corn, a'r pedwar saer.*

Cyn Crist 520. YN yr wythfed mis [a] o'r ail flwyddyn i Ddarius, y daeth gair yr ARGLWYDD
at [b] Zechariah, fab Barachiah, fab Ido y
[a] Ezra 4. 24. prophwyd, gan ddywedyd,
Hag. 1. 1. 2 Llwyr-ddigiodd yr ARGLWYDD wrth
[b] Ezra 5. 1. eich tadau.
3 Am hynny dywed wrthynt, Fel hyn y
[c] Jer. 25. 5. dywed ARGLWYDD y lluoedd; [c] Dychwel-
a 35. 15. wch attaf fi, medd ARGLWYDD y lluoedd,
Mich. 7. 19. a mi a ddychwelaf attoch chwithau, medd
Mal. 3. 7. ARGLWYDD y lluoedd.
4 Na fyddwch fel eich tadau, y rhai y
galwodd y prophwydi o'r blaen arnynt, gan
ddywedyd, Fel hyn y dywed ARGLWYDD
[d] Esay 31. 6. y lluoedd; [d] Dychwelwch yn awr oddi
Jer. 3. 12. wrth eich ffyrdd drwg, ac *oddi wrth* eich
a 18. 11. gweithredoedd drygionus: ond ni chly-
Ezec. 18. 30. went, ac ni wrandawent arnaf, medd yr
Hos. 14. 1. ARGLWYDD.
5 Eich tadau, pa le *y maent* hwy? a'r
prophwydi, ydynt hwy yn fyw byth?
6 Oni ddarfu er hynny i'm geiriau a'm
deddfau, y rhai a orchymynais wrth fy
† Neu, *ymaflyd yn eich tadau?* ngweision y prophwydi, † oddiwes eich ta-
dau? a hwy a ddychwelasant, ac a ddywe-
dasant, [e] Megis y meddyliodd ARGLWYDD
[e] Galar. 1. 18. y lluoedd wneuthur i ni, yn ol ein ffyrdd,
ac yn ol ein gweithredoedd *ein hun*, felly y
gwnaeth efe â ni.
519. 7 ¶ Ar y pedwerydd dydd ar hugain o'r
unfed mis ar ddeg, hwnnw *yw* mis Sebat,
o'r ail flwyddyn i Ddarius, y daeth gair yr
ARGLWYDD at Zechariah, fab Barachiah,
fab Ido y prophwyd, gan ddywedyd,
[f] Jos. 5. 13. 8 Gwelais noswaith; ac wele [f] wr yn
marchogaeth ar farch coch, ac yr oedd efe
yn sefyll rhwng y myrtwydd y rhai *oedd*
[g] Pen. 6. 1–7. yn y pant; ac o'i ol ef feirch [g] cochion,
‡ Neu, *gwineuon.* ‡ brithion, a gwynion.
9 Yna y dywedais, Beth *yw* y rhai hyn,
fy arglwydd? A dywedodd yr angel oedd
yn ymddiddan â mi wrthyf, Mi a ddangosaf
it' beth yw y rhai hyn.
10 A'r gwr yr hwn oedd yn sefyll rhwng
y myrtwydd a attebodd ac a ddywedodd,
Dyma'r rhai a hebryngodd yr ARGLWYDD
i ymrodio trwy'r ddaear.
11 A hwythau a attebasant angel yr AR-
GLWYDD, yr hwn oedd yn sefyll rhwng y
coed myrt, ac a ddywedasant, Rhodiasom
trwy'r ddaear; ac wele'r holl ddaear yn
eistedd, ac yn llonydd.
12 ¶ Ac angel yr ARGLWYDD a atteb-
[h] Dat. 6. 10. odd ac a ddywedodd, [h] O ARGLWYDD y
lluoedd, pa hyd na thrugarhêi wrth Jerusa-
lem, a dinasoedd Judah, wrth y rhai y di-
[i] Dan. 9. 2. giaist [i] y deng mlynedd a thrugain hyn?
13 A'r ARGLWYDD a attebodd yr angel
oedd yn ymddiddan â mi, *â* geiriau daionus,
*a* geiriau comfforddus.
14 A'r angel yr hwn oedd yn ymddiddan
â mi a ddywedodd wrthyf, Gwaedda, gan
ddywedyd, Fel hyn y dywed ARGLWYDD
[k] Pen. 8. 2. y lluoedd; [k] Deliais eiddigedd mawr dros
Jerusalem a thros Sion:
15 A digiais yn ddirfawr wrth y cenhedl-
[l] Esay 47. 6. oedd difraw; [l] y rhai *pan* ddigiais ychydig,
hwythau a gynnorthwyasant y niweid.
16 Am hynny fel hyn y dywed yr AR-
GLWYDD; Dychwelais at Jerusalem â thru-
gareddau: fy nhŷ a adeiledir ynddi, medd
ARGLWYDD y lluoedd, a llinyn a estynir ar
Jerusalem.
17 Gwaedda etto, gan ddywedyd, Fel
hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd; Fy
ninasoedd a ymehangant gan ddaioni, a'r
ARGLWYDD a rydd gysur i Sion etto, ac
[m] a ddewis Jerusalem etto. [m] Esay 14. 1.
18 ¶ A chodais fy llygaid, ac edrychais; Pen. 2. 12.
ac wele, bedwar corn.
19 A dywedais wrth yr angel oedd yn ym-
ddiddan â mi, Beth *yw*'r rhai hyn? Dywed-
odd yntau wrthyf, Y rhai hyn *yw*'r cyrn a
wasgarasant Judah, Israel, a Jerusalem.
20 A'r ARGLWYDD a ddangosodd i mi
bedwar saer *hefyd*.
21 Yna y dywedais, I wneuthur pa beth y
daw'r rhai hyn? Ac efe a lefarodd, gan ddy-
wedyd, Y rhai hyn *yw*'r cyrn a wasgarasant
Judah, fel na chodai un ei ben: ond y rhai
hyn a ddaethant i'w tarfu hwynt, i daflu al-
lan gyrn y Cenhedloedd, y rhai a godasant
*eu* cyrn ar wlad Judah i'w gwasgaru hi.

## PEN. II.

1 *Duw, o'i ofal dros Jerusalem, yn anfon i'w* Medi 19.
*mesuro hi.* 6 *Gwared Sion.* 10 *Addewid* B.
*o bresennoldeb Duw.*

DYRCHEFAIS fy llygaid drachefn, ac 519
edrychais; ac wele wr, ac yn ei law
linyn mesur.
2 A dywedais, I ba le'r ei di? Ac efe a
ddywedodd wrthyf, [a] I fesuro Jerusalem, [a] Edrych
i weled beth *yw* ei lled hi, a pheth *yw* ei Dat. 11. 1.
hŷd hi.
3 Ac wele'r angel a oedd yn ymddiddan
â mi yn myned allan, ac angel arall yn my-
ned allan i'w gyfarfod ef.
4 Ac *efe* a ddywedodd wrtho, Rhed, lle-
fara wrth y llangc hwn, gan ddywedyd,
Jerusalem a gyfanneddir *fel* † maes-drefi, † Neu,
rhag amled dyn ac anifail o'i mewn. *trefi heb*
5 Canys byddaf iddi yn fur o dân o am- *gaerau.*
gylch, medd yr ARGLWYDD, a [b] byddaf [b] Esay 60.
yn ogoniant yn ei chanol. 19.
6 ¶ Ho, ho, *deuwch allan*, a [c] ffowch o [c] Esay 48.
wlad y gogledd, medd yr ARGLWYDD: ca- 20. a 52. 11.
nys taenais chwi fel pedwar gwŷnt y ne- Jer. 50. 8.
foedd, medd yr ARGLWYDD. a 51. 6, 45.
Dat. 18. 4.
7 O Sion, ymachub, yr hon wyt yn pre-
swylio *gyd â* merch Babilon.
8 Canys fel hyn y dywed ARGLWYDD y
lluoedd; Ar ol y gogoniant y'm hanfonodd
at y cenhedloedd y rhai a'ch yspeiliasant
chwi: canys [d] a gyffyrddo â chwi, sydd yn [d] Deut. 32. 10.
cyffwrdd â channwyll ei lygad ef. Psal. 17. 8.
9 Canys wele fi yn ysgwyd fy llaw ar- [e] Pen. 4. 9.
nynt, a byddant yn ysglyfaeth i'w gweision: [f] Esay 12.
a [e] chânt wybod mai ARGLWYDD y llu- 6. a 54. 1.
oedd a'm hanfonodd. Seph. 3. 14.
10 ¶ [f] Cân a llawenycha, merch Sion: [g] Lef. 26. 12.
canys wele fi yn dyfod; a [g] mi a drigaf yn Ezec. 37.
dy ganol di, medd yr ARGLWYDD. 27.
11 A'r dydd hwnnw cenhedloedd lawer a Ioan 1. 14.
ymlynant wrth yr ARGLWYDD, ac a fyddant 2 Cor. 6.
[h] bobl i mi: a mi a drigaf yn dy ganol di, a 16.
[i] chei wybod mai ARGLWYDD y lluoedd [h] Exod. 12. 49.
a'm hanfonodd attat. [i] Adn. 9.
12 A'r ARGLWYDD a etifedda Judah, ei [k] Pen. 1.
ran yn y tir sanctaidd, ac [k] a ddewis Jerusa- 17.
lem drachefn. [l] Seph. 1. 7
13 Pob cnawd, [l] taw yngŵydd yr AR- [m] Esay 57.
GLWYDD: canys cyfododd [m] o drigfa ei 15.
sancteiddrwydd. Deut. 26. 15.

## PEN. III.

A hon hefyd.

1 *Dan rith Josua, y dangosir adferiad yr eglwys.* 8 *Addaw Crist y Blaguryn.*

519.
AC efe a ddangosodd i mi [a] Josua 'r
arch-offeiriad yn sefyll ger bron angel
yr ARGLWYDD, a [b] † Satan yn sefyll ar ei
ddeheulaw ef i'w wrthwynebu ef.
2 A'r ARGLWYDD a ddywedodd wrth Sa-
tan, [c] Cerydded yr ARGLWYDD dydi Satan;
sef yr ARGLWYDD yr hwn [d] a ddewisodd
Jerusalem, a'th geryddo: onid [e] pentewyn
*yw* hwn wedi ei achub o'r tân?
3 A Josua ydoedd wedi ei wisgo â dillad
budron, ac yn sefyll yngŵydd yr angel.
4 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd
wrth y rhai oedd yn sefyll ger ei fron, gan
ddywedyd, Cymmerwch ymaith y dillad
budron oddi am dano ef. Wrtho yntau y
dywedodd, Wele, symmudais dy anwiredd
oddi wrthyt, a gwisgaf di hefyd â newid
dillad.
5 A dywedais hefyd, Rhoddant [f] feitr
teg ar ei ben ef: a rhoddasant feitr teg
ar ei ben ef, ac a'i gwisgasant â dillad; ac
angel yr ARGLWYDD oedd yn sefyll ger
llaw.
6 Ac angel yr ARGLWYDD a dystiolaeth-
odd wrth Josua, gan ddywedyd,
7 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y llu-
oedd: Os rhodi di yn fy ffyrdd, ac os cedwi
‡ fy nghadwraeth, tithau hefyd a ferni fy
nhŷ, ac a gedwi fy nghynteddoedd; rhoddaf
it' hefyd § leoedd i rodio ym mysg y rhai
hyn sydd yn sefyll *yma*.
8 Gwrando, attolwg, Josua 'r arch-offei-
riad, ti a'th gyfeillion sydd yn eistedd ger dy
fron: canys [g] gwŷr rhyfedd *yw* y rhai hyn:
o herwydd wele dygaf allan [h] fy ngwas [i] Y
BLAGURYN.
9 Canys wele, y garreg a roddais ger bron
Josua; ar un [k] garreg *y bydd* [l] saith o lyg-
aid: wele fi yn naddu ei naddiad hi, medd
ARGLWYDD y lluoedd, a mi a symmudaf
ymaith anwiredd y tir hwnnw mewn un
diwrnod.
10 Y dydd hwnnw, medd ARGLWYDD
y lluoedd, y gelwch bob un ei gymmydog
[m] dan y winwŷdden, a than y ffigysbren.

[a] Hag. 1. 1. [b] Psal. 109. 6. Dat. 12. 10. † Sef, *gwrthwynebwr.* [c] Judas 9. [d] Rhuf. 8. 33. [e] Amos 4. 11. Rhuf. 11. 5. Judas 23. [f] Pen. 6. 11. ‡ Neu, *fy ordinhad.* § Heb. *rodfeydd i rodio.* [g] Psal. 71. 7. Esay 8. 18. [h] Esay 42. 1. a 52. 13. Ezec. 34. 23. [i] Esay 4. 2. a 11. 1. Jer. 23. 5. a 33. 15. Pen. 6. 12. Luc 1. 78. [k] Psal. 118. 22. Esay 28. 16. [l] Pen. 4. 10. Dat. 5. 6. [m] Mich. 4. 4.

## PEN. IV.

Medi 19. P.

1 *Trwy weledigaeth y canhwyllbren aur, y dangosir y llwyddiant a gai sylfaeniad Zorobabel:* 11 *ac wrth y ddwy olewŷdden, yr arwyddocêir y ddau enneiniog.*

519.
A'R angel yr hwn oedd yn ymddiddan â
mi, a ddychwelodd, ac a'm deffrôdd, fel
y deffróir un o'i gwsg,
2 Ac a ddywedodd wrthyf, Beth a weli
di? A mi a ddywedais, Edrychais, ac wele
ganhwyllbren i gyd *o* aur, a'i badell ar ei
ben, a'i saith lusern arno, † a saith o bib-
ellau i'r saith lusern *oedd* ar ei ben ef;
3 A [a] dwy olewŷdden wrtho, y naill
o'r *tu* dehau i'r badell, a'r llall o'r *tu* aswy
iddi.
4 A mi a attebais, ac a ddywedais wrth
yr angel oedd yn ymddiddan â mi, gan
ddywedyd, Beth *yw* y rhai hyn, fy ar-
glwydd?
5 A'r angel oedd yn ymddiddan â mi, a
attebodd, ac a ddywedodd wrthyf, Oni wydd-
ost beth *yw* y rhai yma? Yna y dywedais,
Na *wn*, fy arglwydd.
6 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd
wrthyf, gan ddywedyd, Hyn *yw* gair yr
ARGLWYDD at Zorobabel, gan ddywed-
yd, [b] Nid trwy ‡ lu, ac nid trwy nerth,
ond trwy fy yspryd, medd ARGLWYDD y
lluoedd.
7 Pwy *wyt* ti, y mynydd mawr? ger bron
Zorobabel *y byddi* yn wastadedd; ac efe a
ddwg allan y maen pennaf, [c] gan weiddi,
Rhad, rhad iddo.
8 Daeth gair yr ARGLWYDD attaf dra-
chefn, gan ddywedyd,
9 Dwylaw Zorobabel [d] a sylfaenasant y
tŷ hwn, a'i ddwylaw ef [e] a'i gorphen: a
[f] chei wybod mai [g] ARGLWYDD y lluoedd
a'm hebryngodd attoch.
10 Canys pwy a ddïystyrodd ddydd [h] y
pethau bychain? canys llawenychant, a
gwelant y § garreg alcam yn llaw Zoroba-
bel *gyd* â'r saith hynny: [i] llygaid yr AR-
GLWYDD *ydynt*, y rhai sy 'n cyniwair trwy 'r
holl ddaear.
11 ¶ A mi a attebais ac a ddywedais
wrtho, Beth *yw* [k] y ddwy olewŷdden hyn,
ar y *tu* dehau i'r canhwyllbren, ac ar ei
aswy?
12 A mi a attebais drachefn, ac a ddywed-
ais wrtho, Beth *yw* y ddau bingcyn ole-
wŷdden, y rhai ‖ trwy y ddwy bibell aur
sydd yn tywallt allan o honynt eu hunain
† yr *olew* euraid?
13 Ac efe a lefarodd wrthyf, gan
ddywedyd, Oni wyddost ti beth *yw* y
rhai hyn? A dywedais, Na *wn*, fy ar-
glwydd.
14 Ac efe a ddywedodd, [l] Dyma ‡ 'r
ddwy gaingc olewŷdden [m] sydd yn sefyll
ger bron ARGLWYDD yr holl ddaear.

† Neu, *a saith, saith mesdraf, o bibellau i'r llusernau.* [a] Adn. 11. [b] Hos. 1. 7. ‡ Neu, *allu.* [c] Ezra 3. 11, 13. [d] Ezra 3. 10. [e] Ezra 6. 15. [f] Pen. 2. 9, 11. a 6. 15. [g] Esay 48. 16. Pen. 2. 8. [h] Hag. 2. 3. § Neu, *plwm.* [i] Pen. 3. 9. 2 Chron. 16. 9. Diar. 15. 3. [k] Adn. 3. ‖ Heb. *trwy law y ddwy bibell.* † Neu, *olew i'r aur.* Heb. *yr aur.* [l] Dat. 11. 4. ‡ Heb. *dau fab yr olew; sef, y ddau enneiniog.* [m] Pen. 6. 5. Edrych Jos. 3. 11, 13.

## PEN. V.

1 *Wrth y llyfr yn ehedeg, y dangosir melldith lladratta a thyngu.* 5 *Yn rhith gwraig yn eistedd mewn ephah, a thalent o blwm, y dangosir damnedigaeth Babilon.*

A hon hefyd.

YNA y trois, a chodais fy llygaid, ac 519.
edrychais; ac wele blyg llyfr yn
ehedeg.
2 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Beth a
weli di? A dywedais, Mi a welaf blyg llyfr
yn ehedeg, a'i hŷd yn ugain cufydd, a'i led
yn ddeg cufydd.
3 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Dyma 'r
felldith sydd yn myned allan ar wyneb yr
holl ddaear: canys † pob un a ladratto, a
dorrir ymaith *fel* o'r tu yma, yn ei hol hi;
a phob un a dyngo, a dorrir ymaith *fel* o'r
tu accw, yn ei hol hi.
4 Dygaf hi allan, medd ARGLWYDD y
lluoedd, a hi a ddaw i dŷ 'r lleidr, ac i dŷ 'r
[a] neb a dyngo i'm henw i ar gam: a hi a
erys ynghanol ei dŷ ef, ac [b] a'i difa ef, a'i
goed, a'i gerrig.
5 ¶ Yna 'r angel oedd yn ymddiddan â
mi, a aeth allan, ac a ddywedodd wrthyf,
Cyfod yn awr dy lygaid, ac edrych beth *yw*
hyn sydd yn myned allan.
6 A mi a ddywedais, Beth *ydyw?* Ac efe
a ddywedodd, Ephah *ydyw* sydd yn myned
allan. Ac efe a ddywedodd, Dyma eu gwe-
lediad yn yr holl ddaear.
7 Ac wele, dalent o blwm wedi ei godi i
fynu: a dyma wraig yn eistedd ynghanol yr
ephah.
8 Ac efe a ddywedodd, Anwiredd *yw* hon.
Ac efe a'i taflodd hi i ganol yr ephah; a
bwriodd y pwys plwm ar ei enau ef.
9 A chyfodais fy llygaid, ac edrychais;
ac wele ddwy wragedd yn dyfod allan, a

† Neu, *pob un o'r bobl hyn a ladratto, a'i cyfrif ei hun yn ddieuog, fel y gwna hithau, &c.* [a] Pen. 8. 17. [b] Edrych Lef. 14. 45.

rusalem : a Jerusalem º a elwir Dinas y gwirionedd ; a mynydd ARGLWYDD y lluoedd, Y mynydd sanctaidd.

ª Esay 1. 21, 26.

4 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd ; ᶜ Hen wŷr a hen wragedd a drigant etto yn heolydd Jerusalem, a phob gwr a'i ffon yn ei law o herwydd amlder dyddiau.

ᶜ Edrych 1 Sam. 2. 31. Galar. 2. 20, &c. a 5. 11, 14.

5 A heolydd y ddinas a lenwir o fechgyn a genethod yn chwarae yn ei heolydd hi.

6 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd ; Os † anhawdd yw *hyn* yn y dyddiau hyn yngolwg gweddill y bobl hyn, ᵈ ai ‡ anhawdd fyddai hefyd yn fy ngolwg i? medd ARGLWYDD y lluoedd.

† Neu, *rhyfedd.* ᵈ Gen. 18. 14. Luc 1. 37. a 18. 27. Rhuf. 4. 21. ‡ Neu, *rhyfedd.*

7 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd ; Wele fi yn gwaredu fy mhobl o dir y dwyrain, ac o dir § machludiad haul.

§ Edrych Psal. 50. 1. a 113. 3. Mal. 1. 11.

8 A mi a'u dygaf hwynt, fel y preswyliont ynghanol Jerusalem : a hwy a fyddant yn bobl i mi, a byddaf innau iddynt hwythau yn DDUW mewn gwirionedd ac mewn cyfiawnder.

9 ¶ Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd ; ᵉ Cryfhâer eich dwylaw chwi, y rhai ydych yn clywed yn y dyddiau hyn y geiriau hyn o ᶠ enau'r prophwydi, y rhai *oedd* yn y dydd y sylfaenwyd tŷ ARGLWYDD y lluoedd, fel yr adeiladid y deml.

ᵉ Hag. 2. 4. ᶠ Ezra 5. 1, 2.

10 Canys cyn y dyddiau hyn ᵍ ‖ nid oedd na chyflog i ddyn, na llog am anifail ; na heddwch i'r un a elai allan, nac a ddelai i mewn, gan y gorthrymder : oblegid gyrrais yr holl ddynion bob un yn erbyn ei gymmydog.

ᵍ Hag. 1. 6, 10. a 2. 15. ‖ Neu, *y cyflog hwn i ddyn a aeth yn ddiddym, ac nid oedd llog am,* &c.

11 Ond yn awr ni *byddaf* fi i weddill y bobl hyn megis yn y dyddiau gynt, medd ARGLWYDD y lluoedd.

12 Canys *bydd* ʰ yr had † yn ffynnadwy ; y winwŷdden a rydd ei ffrwyth, a'r ddaear a rydd ei chynnyrch, a'r nefoedd a roddant eu gwlith : a pharaf i weddill y bobl hyn feddiannu'r holl *bethau* hyn.

ʰ Hos. 2. 21, 22. Joel 2. 22. † Heb. *yn heddwch.*

13 A bydd, mai megis y buoch chwi, tŷ Judah a thŷ Israel, yn felldith ym mysg y cenhedloedd ; felly y'ch gwaredaf chwi, a ⁱ byddwch yn fendith : nac ofnwch, *ond* cryfhâer eich dwylaw.

ⁱ Ruth 4. 11, 12. Seph. 3. 20.

14 Canys fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd ; Fel y meddyliais eich drygu chwi, pan y'm digiodd eich tadau, medd ARGLWYDD y lluoedd, ac nid edifarheais ;

15 Felly drachefn y meddyliais yn y dyddiau hyn wneuthur lles i Jerusalem, ac i dŷ Judah : nac ofnwch.

16 ¶ Dyma'r pethau a wnewch chwi ; ᵏ Dywedwch y gwir bawb wrth ei gymmydog ; bernwch farn ‡ gwirionedd *a* thangnefedd yn eich pyrth ;

ᵏ Eph. 4. 25. ‡ Heb. *a gwirionedd tangnefedd.*

17 ˡ Ac na fwriedwch ddrwg neb i'w gilydd yn eich calonnau ; ac ᵐ na hoffwch lw celwyddog : canys yr holl *bethau* hyn a gaseais, medd yr ARGLWYDD.

ˡ Pen. 7. 10. ᵐ Pen. 5. 3, 4.

18 ¶ A gair ARGLWYDD y lluoedd a ddaeth attaf, gan ddywedyd,

19 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd ; Ympryd ⁿ y pedwerydd mis, ac ympryd º y pummed, ac ympryd ᵖ y seithfed, ac ympryd ᑫ y degfed, a fydd i dŷ Judah yn llawenydd a hyfrydwch, ac yn § uchelwyliau ‖ daionus : gan hynny cerwch wirionedd a heddwch.

ⁿ Jer. 52. 6, 7. º Jer. 52. 12, 13. ᵖ Jer. 41. 1, 2. ᑫ Jer. 52. 4. § Heb. *amserau gosodedig.* ‖ Neu, *hyfryd.*

20 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd ; *Bydd* etto, y daw pobloedd, a phreswylwŷr dinasoedd lawer :

21 Ac yr â preswylwŷr y naill *ddinas* i'r llall, gan ddywedyd, ʳ Awn gan fyned i weddïo ger bron yr ARGLWYDD, ac i geisio ARGLWYDD y lluoedd : minnau a af hefyd.

ʳ Esay 2. 3. Mich. 4. 1, 2.

22 Ie, pobloedd lawer a chenhedloedd cryfion a ddeuant i geisio ARGLWYDD y lluoedd yn Jerusalem, ac i † weddïo ger bron yr ARGLWYDD.

† Heb. *ymbil ag wyneb yr Arglwydd.*

23 Fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd ; Yn y dyddiau hynny *y bydd* i ddeg o ddynion, o bob tafod-iaith y cenhedloedd, ymaflyd, ymaflyd, *meddaf*, yngodrau gwr o Iuddew, gan ddywedyd, Awn gyd â chwi : canys clywsom ˢ *fod* Duw gyd â chwi.

ˢ 1 Cor. 14. 25.

## PEN. IX.

1 *Duw yn ymddiffyn ei eglwys.* 9 *Annog Sion i lawenychu am ddyfodiad Crist, a'i heddychol frenhiniaeth.* 12 *Duw yn addaw buddugoliaeth ac ymddiffyn.*

Medi 22. P. Nos Basg, B.

BAICH gair yr ARGLWYDD yn nhir Hadrach, a ᵃ Damascus *fydd* ei orphwysfa ef : pan *fyddo* llygaid dyn ar yr ARGLWYDD, fel yr eiddo holl lwythau Israel.

Cylch 587. ᵃ Amos 1. 3.

2 A Hamath hefyd a derfyna wrthi, Tyrus a ᵇ Sidon *hefyd*, er ei bod ᶜ yn ddoeth iawn.

ᵇ Obad. 20. ᶜ Ezec. 28. 3, &c.

3 A Thyrus a adeiladodd iddi ei hun ymddiffynfa, ac ᵈ a bentyrrodd arian fel llwch, ac aur coeth fel tom yr heolydd.

ᵈ Job 27. 16.

4 ᵉ Wele'r ARGLWYDD a'i bwrw hi allan, ac a dery ei nerth hi yn y môr ; a hi a ysir â thân.

ᵉ Esay 23. 1. a 28. 3.

5 ᶠ Ascelon a'i gwel, ac a ofna ; a Gaza, ac a ymofidia yn ddirfawr, Ecron hefyd ; am ei chywilyddio o'i gobaith ; difethir hefyd y brenhin allan o Gaza, ac Ascelon ni chyfanneddir.

ᶠ Seph. 2. 4.

6 † Estron hefyd a drig yn Asdod, a thorraf ymaith falchder y Philistiaid.

† Heb. *Mab ordderch.*

7 A mi a gymmeraf ymaith ei waed o'i enau, a'i ffieidd-dra oddi rhwng ei ddannedd : ac efe a weddillir i'n Duw ni, fel y byddo megis pennaeth yn Judah, ac Ecron megis Jebusiad.

8 A ᵍ gwersyllaf o amgylch fy nhŷ rhag y llu, rhag a êl heibio, a rhag a ddychwelo ; fel nad elo gorthrymmwr trwyddynt mwyach : canys yn awr gwelais â'm llygaid.

ᵍ Pen. 2. 5.

9 ¶ ʰ Bydd lawen iawn, ti ferch Sion ; a chrechwenna, ha ferch Jerusalem. Wele, dy frenhin yn dyfod attat : cyfiawn ‡ ac achubydd *yw* efe ; *y mae efe* yn llariaidd, ac yn marchogaeth ar asyn, ac ar ebol llwdn asyn.

ʰ Esay 26. 11. Pen. 2. 10. Mat. 21. 5. Ioan 12. 15. ‡ Neu, *a'i achub ei hun yw efe.*

10 ⁱ Torraf hefyd y cerbyd oddi wrth Ephraim, a'r march oddi wrth Jerusalem, a'r bwa rhyfel a dorrir : ac efe a lefara heddwch i'r cenhedloedd : a'i lywodraeth *fydd* ᵏ o for hyd fôr, ac o'r afon hyd eithafoedd y ddaear.

ⁱ Hos. 1. 7. a 2. 18. Mich. 5. 10. Hag. 2. 22. ᵏ Psal. 72. 8.

11 A thithau, § trwy waed dy ammod y gollyngais dy ˡ garcharorion o'r pydew heb ddwfr ynddo.

§ Neu, [illegible]

12 ¶ Trowch i'r ymddiffynfa, chwi garcharorion gobeithiol : heddyw'r ydwyf yn dangos ᵐ y talaf it' yn ddau-ddyblyg :

13 Pan annelwyf Judah i mi, ac y llanwyf y bwa ag Ephraim, ac y cyfodwyf dy feibion di, Sion, yn erbyn dy feibion di, Groeg, ac y'th wnelwyf fel cleddyf gŵr grymmus :

14 A'r ARGLWYDD a welir trostynt, a'i saeth ef a â allan fel mellten : a'r ARGLWYDD DDUW a gân ag udgorn, ac a gerdd ⁿ â chorwyntoedd y dehau.

[illegible] 1.

15 ARGLWYDD y lluoedd a'u hymddi-
ffyn hwynt: a hwy a ysant, ac a ddarostyn-
gant † gerrig y dafl; yfant, *a* therfysgant
megis *mewn* gwin, a ‡ llenwir hwynt fel
meiliau, *ac* fel conglau 'r allor.
16 A'r ARGLWYDD eu Duw a'u gwared
hwynt y dydd hwnnw fel praidd ei bobl:
canys [o] *fel* meini coron *y byddant*, [p] wedi
eu dyrchafu yn faneran ar ei dir ef.
17 Canys pa faint *yw* ei ddaioni ef, a pha
faint ei degwch ef! ŷd a § lawenycha'r
gwŷr ieuaingc, a gwin y gwŷryfon.

† Neu, *â cherrig.* ‡ Neu, *llanwant y meiliau, a chonglau'r allor hefyd.* [o] Esay 62. 3. [p] Esay 11. 12. § Neu, *a wna i wŷr ieuaingc dyfu*, neu, *lefaru.*

## PEN. X.

Medi 23. B.

1 *Duw sy raid ymgais ag ef, ac nid eilunod.*
5 *Megis yr ymwelodd efe â'i ddiadell am eu
pechod, felly yr achub ac yr adfera efe hwy.*

Cylch 587.

ERCHWCH [a] gan yr ARGLWYDD [b] wlaw
[c] mewn pryd diweddar-wlaw; *a*'r AR-
GLWYDD a bair † ddisglair gymmylau, ac a
ddŷd iddynt gawod o wlaw, i bob un las-
wellt yn y maes.
2 Canys [d] y ‡ delwau a ddywedasant
wagedd, a'r dewiniaid a welsant gelwydd,
ac a ddywedasaint freuddwydion ofer; [e] rhod-
dasant ofer gysur: am hynny yr aethant fel
defaid, § cystuddiwyd hwynt, am nad *oedd*
bugail.
3 Wrth y bugeiliaid yr ennynodd fy llid,
a mi a gospais y bychod: canys ARGLWYDD
y lluoedd a ymwelodd â'i braidd tŷ Judah,
ac [f] a'u gwnaeth fel ei harddfarch yn y
rhyfel.
4 Y gongl a ddaeth allan o hono, yr hoel
o hono, y bwa rhyfel o hono, *a* phob gor-
thrymmwr ynghŷd *a ddaeth* o hono.
5 ¶ A byddant fel cawri [g] yn sathru *eu
gelynion* yn nhom yr heolydd yn y rhyfel: a
hwy a ymladdant, am *fod* yr ARGLWYDD
gyd â hwynt; a ‖ chywilyddir marchogion
meirch.
6 A nerthaf dŷ Judah, a gwaredaf dŷ Jo-
seph, a pharaf iddynt ddychwelyd i'w cyfle;
canys trugarheais wrthynt; a byddant fel
pe na's gwrthodaswn hwynt: o herwydd
myfi *yw* yr ARGLWYDD eu DUW hwynt, ac
a'u gwrandawaf hwynt.
7 Bydd Ephraim hefyd fel cawr, a'u
calonnau a lawenychant fel trwy win:
a'u meibion a gânt weled, ac a lawen-
ychant; bydd eu calon yn hyfryd yn yr
ARGLWYDD.
8 Chwibanaf arnynt, a chasglaf hwynt;
canys gwaredais hwynt: ac amlhânt fel yr
amlhasant.
9 A [h] hauaf hwynt ym mysg y bobloedd:
ac mewn gwledydd pell y'm cofiant, a byd-
dant fyw gyd â'u plant, a dychwelant.
10 A [i] dychwelaf hwynt o dir yr Aipht,
a chasglaf hwynt o Assyria; ac arweiniaf
hwynt i dir Gilead a Libanus, ac [k] ni cheir
*lle* iddynt.
11 Ac efe a dramwya trwy'r môr mewn
blinder, ac [l] a dery'r tonnau yn y môr: a
holl ddyfnderoedd yr afon a fyddant ddy-
hysbydd: a disgynir balchder Assyria, a
theyrn-wialen yr Aipht a gilia ymaith.
12 Nerthaf hwynt hefyd yn yr AR-
GLWYDD, ac [m] yn ei enw ef yr ymrodiant,
medd yr ARGLWYDD.

[a] Jer. 14. 22. [b] Deut. 11. 14. [c] Job 29. 23. † Neu, *fellt*, neu, *lluchedennau.* [d] Jer. 10. 8. Hab. 2. 18. ‡ Heb. *teraphim.* [e] Job 13. 4. § Neu, *atteb asant nad oedd bugail.* [f] Can. 1. 9. [g] Psal. 18. 42. ‖ Neu, *chywilyddiant farchogion.* [h] Hos. 2. 23. [i] Esay 11. 11. [k] Esay 49. 20. [l] Edrych Esay 11. 15. [m] Mich. 4. 5.

## PEN. XI.

Medi 23. P.

1 *Dinystr Jerusalem.* 3 *Gofalu am yr ethol-
edigion, a gwrthod y lleill.* 10 *Torri ffon
Tegwch a Rhwymau, trwy wrthod Crist.*
15 *Arwydd a melldith y bugail ynfyd.*

LIBANUS, agor dy ddorau, fel yr yso'r
tân dy gedrwŷdd. Cylch 587.
2 Y ffynnidwŷdd, udwch; canys cwymp-
odd y cedrwŷdd, difwynwyd y rhai † ar-
dderchog: udwch, dderw Basan; canys
syrthiodd coedwig ‡ y gwin gynhauaf.
3 ¶ Y *mae* llef udia'r bugeiliaid; am
ddifwyno eu hardderchowgrwydd: llef
rhuad y llewod ieuaingc; am ddifwyno
balchder yr Iorddonen.
4 Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD fy
NUW; Portha ddefaid y lladdfa;
5 Y rhai y mae eu perchennogion yn eu
lladd, [a] heb dybied eu bod yn euog; a'u
gwerthwŷr [b] a ddywedant, Bendigedig
*fyddo*'r ARGLWYDD, am fy nghyfoethogi:
a'u bugeiliaid nid arbedant hwynt.
6 Canys nid arbedaf mwyach drigolion y
wlad, medd yr ARGLWYDD; ond wele fi
§ yn rhoddi'r dynion bob un i law ei gym-
mydog, ac i law ei frenhin; a hwy a dara-
want y tir, ac nid achubaf *hwynt* o'u llaw
hwy.
7 A mi a borthaf ddefaid y lladdfa, ‖ *sef*
chwi, drueiniaid y praidd. A chymmerais
im' ddwy ffon; un a elwais Hyfrydwch, a'r
llall a elwais † Rhwymau; a mi a borthais y
praidd.
8 A thorrais ymaith dri bugail [c] mewn
un mis; a'm henaid a ‡ alarodd arnynt
hwy, a'u henaid hwythau a'm ffieiddiodd
innau.
9 Dywedais hefyd, Ni phorthaf chwi: [d] a
fyddo farw, bydded farw; ac y sydd i'w
dorri ymaith, torrer ef ymaith; a'r gweddill,
ysant bob un gnawd ei § gilydd.
10 ¶ A chymmerais fy ffon, Hyfrydwch,
a thorrais hi, i dorri fy nghyfammod yr hwn
a ammodaswn â'r holl bobl.
11 A'r dydd hwnnw y torrwyd hi: ‖ ac
felly [e] y gwybu trueiniaid y praidd, y rhai
oedd yn disgwyl wrthyf fi, mai gair yr AR-
GLWYDD *oedd* hyn.
12 A dywedais wrthynt, Os † gwelwch yn
dda, dygwch fy ngwerth; ac onid e, peidi-
wch: a'm gwerth [f] a bwysasant yn ddeg ar
hugain o arian.
13 A dywedodd yr ARGLWYDD
wrthyf, Bwrw ef i'r [g] crochenydd: pris
teg â'r hwn y'm prisiwyd ganddynt. A
chymmerais y deg ar hugain arian, a bwri-
ais hwynt i dŷ'r ARGLWYDD i'r cro-
chenydd.
14 Yna mi a dorrais fy ail ffon, *sef*
‡ Rhwymau, i dorri'r brawdoliaeth rhwng
Judah ac Israel.
15 ¶ A'r ARGLWYDD a ddywedodd
wrthyf, Cymmer etto it' offer bugail ffol.
16 Canys wele fi yn codi bugail yn y tir,
*yr hwn* ni ofwya § 'r cuddiedig, ni chais yr
ieuangc, ni feddyginiaetha'r briwedig, a
fyddo yn sefyll ni ‖ phortha; ond bwytty
gig y bras, ac a ddryllia eu hewinedd
hwynt.
17 [h] Gwae'r eilun bugail, yn gadael y
praidd: y cleddyf *fydd* ar ei fraich, ac
ar ei lygad dehau: ei fraich gan wywo a
wywa, a'i lygad dehau gan dywyllu a dy-
wylla.

† Neu, *cedyrn*, neu, *gwŷchion.* ‡ Neu, *gauedig.* [a] Jer. 2. 3. a 50. 7. [b] Deut. 29. 19. Hos. 12. 8. § Heb. *yn peri cael y dynion bob un yn llaw*, &c. ‖ Neu, *yn ddiau drueiniaid*, &c. † Neu, *Rhwymwŷr.* [c] Hos. 5. 7. ‡ Heb. *gyfyngwyd o'u hachos.* [d] Jer. 15. 2. a 43. 11. § Heb. *gyfaill*, neu, *gymmydog.* ‖ Neu, *a thrueiniaid y praidd y rhai*, &c. [e] Seph. 3. 12. † Heb. *da yw yn eich golwg.* [f] Mat. 26. 15. [g] Mat. 27. 9, 10. ‡ Heb. *Rhwymwŷr.* § Neu, *yr hwn a dorrwyd ymaith.* ‖ Neu, *chynnal*, neu, *ddwyn.* [h] Jer. 23. 1. Ezec. 34. 2. Ioan 10. 12.

## PEN. XII.

Medi 24. B.

1 *Jerusalem yn ph'iol gwsg a dychryn iddi ei
hun,* 3 *ac yn faen pwysfawr i'w gwrth-
wynebwŷr.* 6 *Buddugawl adferiad Judah.*
9 *Edifeirwch Jerusalem.*

Cylch 587. BAICH gair yr ARGLWYDD i Israel,
medd yr ARGLWYDD, [a] yr hwn sydd
[a] Esay 42. 5. yn estyn allan y nefoedd, ac yn sylfaenu'r
ddaear, ac [b] yn llunio yspryd dyn ynddo.
[b] Num. 16. 22. 2 Wele fi yn gwneuthur Jerusalem [c] yn
Preg. 12. 7. phiol † gwsg i'r bobloedd oll o amgylch,
[c] Esay 51. 17, 22. ‡ pan fyddont yn y gwarchae yn erbyn Judah, *ac* yn erbyn Jerusalem.
† Neu, *gwenwyn,* neu, *gwenwyn.* 3 ¶ A bydd y dwthwn hwnnw im' wneuthur Jerusalem [d] yn faen trwm i'r holl bobloedd: pawb a ymlwytho ag ef, *yn ddiau*
‡ Neu, *ac yn erbyn Judah hefyd y bydd yr hwn a warchaeo yn erbyn Jerusalem,* neu, *y bydd wrth warchae yn erbyn,* &c. a rwygir, er ymgasglu o holl genhedloedd y
ddaear yn ei erbyn ef.
4 Y diwrnod hwnnw, medd yr AR-
GLWYDD, [e] y tarawaf bob march â syndra,
a'i farchog ag ynfydrwydd; ac agoraf fy
llygaid ar dŷ Judah, a tharawaf holl feirch
y bobl â dallineb.
5 A thywysogion Judah a ddywedant yn
eu calon, § Nerth i mi *fydd* preswylwŷr Je-
rusalem yn ARGLWYDD y lluoedd eu DUW
hwynt.
[d] Mat. 21. 44. 6 ¶ Y dydd hwnnw y gwnaf dywysogion
Judah [f] fel aelwyd o dân yn y coed, ac fel ffagl
[e] Psal. 76. 6. dân mewn ysgub o wellt, ac ysant ar y llaw
ddehau ac ar yr aswy, yr holl bobloedd o
§ Neu, *Nerth fydd i mi ac i breswylwŷr,* &c. amgylch: a Jerusalem a gyfanneddir dra-
chefn yn ei lle ei hun, yn Jerusalem.
7 Yr ARGLWYDD a geidw bebyll Judah
yn gyntaf, megis nad *ymfawrygo* gogoniant
[f] Obad. 18. tŷ Ddafydd, a gogoniant preswylwŷr Jeru-
salem, yn erbyn Judah.
8 Y dydd hwnnw'r ymddiffyn yr AR-
[g] Joel 3. 10. GLWYDD breswylwŷr Jerusalem: a [g] bydd
y ‖ llesgaf o honynt y dydd hwnnw fel Da-
‖ Heb. *cwympedig.* fydd; a thŷ Ddafydd *fydd* fel Duw, fel
angel yr ARGLWYDD o'u blaen hwynt.
9 ¶ Y dydd hwnnw y bydd im' geisio
difetha'r holl genhedloedd y sy yn dyfod yn
erbyn Jerusalem.
[h] Joel 2. 28. 10 A [h] thywalltaf ar dŷ Ddafydd, ac ar
breswylwŷr Jerusalem, yspryd gràs a gwe-
[i] Ioan 19. 34, 37. Dat. 1. 7. ddïau; a [i] hwy a edrychant arnaf fi yr hwn
a wanasant, [k] galarant hefyd am dano fel
[k] Jer. 6. 26. un yn galaru am *ei* unig-anedig, † ac ymo-
fidiant am dano ef megis un yn gofidio am
Am. 8. 10. *ei* gyntaf-anedig.
† Heb. *a chwerw fyddant.* 11 Y dwthwn hwnnw y bydd [l] galar
mawr yn Jerusalem, [m] megis galar Hadad-
[l] Act. 2. 37. rimmon yn nyffryn Megidon.
12 A'r wlad a alara, ‡ pob teulu wrtho
[m] 2 Bren. 23. 29. 2 Chron. 35. 24. ei hun; teulu tŷ Ddafydd wrtho ei hun, a'u
gwragedd wrthynt eu hunain; teulu tŷ Na-
than wrtho ei hunan, a'u gwragedd wrthynt
eu hunain;
‡ Heb. *yn deuluoedd, yn deuluoedd.* 13 Teulu tŷ Lefi wrtho ei hunan, a'u
gwragedd wrthynt eu hunain; teulu tŷ
§ Simei wrtho ei hunan, a'u gwragedd wrth-
§ Neu, *Simeon,* yn ol y LXX, &c. ynt eu hunain;
14 Yr holl deuluoedd eraill, pob teulu
wrtho ei hun, a'u gwragedd wrthynt eu
hunain.

## PEN. XIII.

Medi 24. P. 1 *Ffynnon i lanhâu Jerusalem* 2 *oddi wrth ddelw-addoliaeth, a gau-brophwydoliaeth.* 7 *Marwolaeth Crist, a phrofi'r drydedd ran.*

Cylch 587. Y Dydd hwnnw y bydd ffynnon wedi ei
hagoryd i dŷ Ddafydd, ac i breswyl-
† Heb. *a neillduaeth o herwydd aflendid.* wŷr Jerusalem, i bechod † ac aflendid.
2 ¶ A bydd y dwthwn hwnnw, medd
[a] Exod. 23. 13. ARGLWYDD y lluoedd, im' [a] dorri enwau'r
eilunod allan o'r tir, ac ni's cofir hwynt
Psal. 16. 4. mwyach; a gyrraf hefyd y prophwydi ac
Ezec. 30. 13. Hos. 2. 17 yspryd aflendid allan o'r wlad.

3 A bydd pan brophwydo un mwyach, y
dywed ei dad a'i fam a'i cenhedlasant ef
wrtho, Ni chei fyw; canys dywedaist gel-
wydd yn enw'r ARGLWYDD: a'i dad a'i
fam a'i cenhedlasant ef [b] a'i gwanant ef pan [b] Deut. 13. 8.
fyddo yn prophwydo.
4 A bydd y dydd hwnnw, [c] i'r prophwydi [c] Mich. 3. 6, 7.
gywilyddio bob un am ei weledigaeth, wedi
iddo brophwydo; ac ni wisgant [d] ‡ grys o [d] 2 Bren. 1. 8.
rawn § i dwyllo: Mat. 3. 4.
5 Ond efe a ddywed, Nid prophwyd ‡ Heb.
*ydwyf* fi; llafurwr y ddaear *ydwyf* fi: canys *wisg.*
dyn a'm dysgodd i gadw anifeiliaid o'm § Heb.
hieuengctid. *i ddywedyd celwydd.*
6 A dywed *un* wrtho, Beth *a wna*'r gwe-
liau hyn yn dy ddwylaw? Yna efe a ddy-
wed, *Dyma* y rhai y'm clwyfwyd â hwynt
*yn* nhŷ fy ngharedigion.
7 ¶ Deffro, gleddyf, yn erbyn fy mugail,
ac yn erbyn y gwr [e] *sydd* gyfaill i mi, medd [e] Ioan 10.
ARGLWYDD y lluoedd: [f] taro'r bugail, a'r 30. a 14. 10, 11.
praidd a wasgerir; a dychwelaf fy llaw ar y Phil. 2. 6.
rhai bychain. [f] Mat. 26.
8 A bydd yn yr holl dir, medd yr AR- 31.
GLWYDD, y torrir ymaith, *ac* y bydd marw Marc 14.
dwy ran ynddo; a'r drydedd a adewir 27.
ynddo.
9 A dygaf y drydedd ran trwy'r tân, [g] 1 Petr 1.
a [g] phuraf hwynt fel puro arian, a choethaf 6, 7.
hwynt fel coethi aur: [h] hwy a alwant ar fy [h] Psal. 50.
enw, a minnau a'u gwrandawaf: dywedaf, 15. a 91. 15.
[i] Fy mhobl *yw* efe; ac yntau a ddywed, Yr [i] Psal. 144. 15.
ARGLWYDD *yw* fy NUW.

## PEN. XIV.

1 *Distrywio dinystrwŷr Jerusalem.* 4 *Dyfodiad Crist, a rhadau ei frenhiniaeth ef.* Medi 25. B.
12 *Pla gelynion Jerusalem.* 16 *Y gweddill a dry at yr Arglwydd,* 20 *a sanctaidd fydd eu hanrhaith.*

WELE ddydd yr ARGLWYDD yn dyfod, Cylch
a rhennir dy yspail yn dy ganol di. 587.
2 Canys mi a gasglaf yr holl genhedloedd
i ryfel yn erbyn Jerusalem: a'r ddinas a
oresgynir, [a] y tai a anrheithir, a'r gwrag- [a] Esay 13.
edd a dreisir; a hanner y ddinas a â allan i 16.
gaethiwed, a'r rhan arall o'r bobl ni's torrir
ymaith o'r ddinas.
3 A'r ARGLWYDD a â allan, ac a ryfela yn
erbyn y cenhedloedd hynny, megis y dydd [b] Edrych
y rhyfelodd efe yn nydd y gâd. Ezec. 11. 23.
4 ¶ A'i draed a safant y dydd hwnnw † Joel 3.
[b] ar fynydd yr Olewŷdd, yr hwn *sydd* ar 12, 14.
gyfer Jerusalem, o du'r dwyrain; a my- ‡ Neu,
nydd yr Olewŷdd a hyllt ar draws ei hanner *fy mynyddoedd.*
tu a'r dwyrain a thu a'r gorllewin, † *a bydd*
dyffryn mawr iawn: a hanner y mynydd § Neu,
a symmud tu a'r gogledd, a'i hanner tu a'r *pan gyffyrddo â*
dehau. *dyffryn y mynyddoedd i'r*
5 A chwi a ffowch *i* ddyffryn ‡ y my- *lle a neillduwyd.*
nyddoedd; § canys dyffryn y mynyddoedd
a gyrraedd hyd Azal: a ffowch fel y ffoi-
soch rhag [c] y ddaear-gryn yn nyddiau Uz- [c] Amos 1. 1.
ziah brenhin Judah: a daw'r ARGLWYDD ‖ Heb.
fy NUW, a'r holl saint gyd â thi. *gwerthfawr.*
6 A'r dydd hwnnw y daw i ben, na byddo
goleuni ‖ disglair, na † thywyll: † Heb.
7 Ond ‡ bydd [d] un diwrnod, hwnnw a *na chwedi ceulo,*
adweinir gan yr ARGLWYDD, nid dydd, ac neu, *na*
nid nos; ond bydd [e] goleuni yn yr hwyr. *thewder.*
8 A bydd y dwthwn hwnnw, y daw allan ‡ Neu, *y*
o Jerusalem [f] ddyfroedd bywiol; eu hanner *diwrnod*
hwynt § tu a môr y dwyrain, a'u hanner tu *fydd un.*
a'r môr eithaf: haf a gauaf y bydd *hyn.* [d] Dat. 22. 5.

[e] Esay 60. 19. Dat. 21. 23. [f] Ezec. 47. 1. Joel 3. 18. Dat. 22. 1. § Neu, *tu a'r môr blaenaf.*

9 A'r ARGLWYDD a ſydd yn Frenhin ar yr holl ddaear: y dydd hwnnw y bydd un ARGLWYDD, a'i enw yn un.

10 † Troir yr holl dir megis yn waſtad o Geba hyd Rimmon, o'r tu dehau i Jeruſalem: g hi a ddyrchefir, ac a ‡ gyfanneddir yn ei lle, o borth Benjamin hyd le'r porth cyntaf, hyd borth y gongl, ac *o* dŵr Hananeel hyd win-wryfau'r brenhin.

† Neu, *Amgylchu.* g Jer. 31. 38. ‡ Neu, *erys.*

11 Yno y trigant ynddi, ac ni bydd yn ddifrod mwyach; ond Jeruſalem a gyfanneddir yn ddiogel.

12 ¶ A hyn ſydd y bla â'r hon y tery'r ARGLWYDD yr holl bobloedd a ryfelant yn erbyn Jeruſalem; Eu cnawd a dderfydd, er eu bod yn ſefyll ar eu traed, a'u llygaid a ddarfyddant yn eu tyllau, a'u tafod a dderfydd yn eu ſafn.

13 (Y dydd hwnnw y bydd h mawr derfyſg oddi wrth yr ARGLWYDD yn eu plith hwynt; a phob un a ymafael yn llaw ei gymmydog, i a'i law a gyfyd yn erbyn llaw ei gymmydog.

h 1 Sam. 14. 15, 20. i Ezec. 38. 21.

14 § A Judah hefyd a ryfela || yn Jeruſalem: a chesglir golud yr holl genhedloedd o amgylch, aur ac arian, a gwiſgoedd lawer iawn.)

§ Neu, *A thithau, Judah, a ryfeli.* || Neu, *yn erbyn Jeruſalem.*

15 Ac felly y bydd pla'r march, y mul, y camel, yr aſyn, a phob anifail a fyddo yn y gwerſylloedd hyn, fel y bla hon.

16 ¶ A bydd i bob un a adawer o'r holl genhedloedd a ddaethant yn erbyn Jeruſalem, k fyned i fynu o flwyddyn i flwyddyn, i addoli'r Brenhin, ARGLWYDD y lluoedd, ac i gadw l gŵyl y pebyll.

k Eſay 66. 23. l Lef. 23. 34, 43. Hos. 12. 9. Ioan 7. 2.

17 A phwy bynnag nid êl i fynu o deuluoedd y ddaear i Jeruſalem, i addoli'r Brenhin, ARGLWYDD y lluoedd, ni bydd glaw arnynt.

18 Ac os teulu'r Aipht nid â i fynu, ac ni ddaw, m y rhai nid oes *glaw* arnynt; yno y bydd y bla â'r hon y tery'r ARGLWYDD y cenhedloedd y rhai nid esgynant i gadw gŵyl y pebyll.

m Deut. 11. 10.

19 Hyn a fydd † coſp yr Aipht, a choſp yr holl genhedloedd nid elont i fynu i gadw gŵyl y pebyll.

† Neu, *pechod.*

20 ¶ Y dydd hwnnw n y bydd ar ‡ ffrwynau'r meirch, SANCTEIDDRWYDD I'R ARGLWYDD; a bydd y crochanau yn nhŷ'r ARGLWYDD fel meiliau ger bron yr allor.

n Eſay 23. 18. ‡ Neu, *gylch.*

21 Bydd pob crochan yn Jeruſalem ac yn Judah yn Sancteiddrwydd i ARGLWYDD y lluoedd: a daw pob aberthwr, ac a gymmerant o honynt, ac a ferwant ynddynt: ac ni bydd o Canaanead mwyach yn nhŷ ARGLWYDD y lluoedd y dydd hwnnw.

o Eſay 35. 8. Joel 3. 17. Dat. 21. 27. a 22. 15.

# ¶ LLYFR MALACHI.

## PEN. I.

Medi 25. P.

1 *Malachi yn achwyn rhag angharedigrwydd Israel, 6 a'u hanghrefydd, 12 a'u halogrwydd.*

Cyn Criſt cylch 397.

BAICH gair yr ARGLWYDD at Iſrael trwy law Malachi.

2 Hoffais chwi, medd yr ARGLWYDD: a chwi a ddywedwch, Ym mha beth yr hoffaiſt ni? Onid brawd *oedd* Eſau i Jacob? medd yr ARGLWYDD: etto a Jacob a hoffais,

a Rhuf. 9. 13.

3 Ac b Eſau a gaseais, ac a oſodais ei fynyddoedd yn ddiffaethwch, a'i etifeddiaeth i ddreigiau'r anialwch.

b Jer. 49. 18. Ezec. 35. 7, 9. Obad. 10, &c.

4 Lle y dywed Edom, Tlodwyd ni, etto dychwelwn, ac adeiladwn yr anghyfanneddleoedd; fel hyn y dywed ARGLWYDD y lluoedd; Hwy a adeiladant, ond minnau a dynnaf i lawr; a galwant hwynt yn ardal drygioni, a'r bobl *wrth* y rhai y llidiodd yr ARGLWYDD yn dragywydd.

5 Eich llygaid hefyd a welant, a chwithau a ddywedwch, Mawrygir yr ARGLWYDD oddi ar derfyn Iſrael.

6 ¶ Mab a anrhydedda *ei* dad, a gweinidog ei feiſtr: ac c os *ydwyf* fi dad, pa le *y mae* fy anrhydedd? ac os *ydwyf* fi feiſtr, pa le *y mae* fy ofn? medd ARGLWYDD y lluoedd wrthych chwi'r offeiriaid, y rhai ydych yn dirmygu fy enw: a chwi a ddywedwch, Ym mha beth y dirmygaſom dy enw di?

c Luc 6. 46.

7 † Offrymmu yr ydych ar fy allor fara halogedig; a chwi a ddywedwch, Ym mha beth yr halogaſom di? Am i chwi ddywedyd, Dirmygus *yw* bwrdd yr ARGLWYDD.

† Neu, *Dwyn.*

8 Ac d os offrymmu'r ydych y dall ‡ yn aberth, onid drwg *hynny?* ac os offrymmwch y cloff a'r clwyfus, onid drwg *hynny?* cynnyg ef yr awron i'th dywyſog, a fydd efe boddlon it'? neu a dderbyn efe dy wyneb? medd ARGLWYDD y lluoedd.

d Lef. 22. 22. Deut. 15. 21. Adn. 14. ‡ Heb. *i'w aberthu,*

9 Ac yn awr § gweddiwch, attolwg, ger bron Duw, fel y trugarhao wrthym: o'ch || llaw chwi y bu hyn: a dderbyn efe wyneb *un* o honoch? medd ARGLWYDD y lluoedd.

§ Heb. *ymbiliwch ag wyneb Duw.* || *gwaith.*

10 A phwy hefyd o honoch a gauai'r dorau, neu a oleuai fy allor yn rhad? Nid oes gennyf foddlonrwydd ynoch chwi, medd ARGLWYDD y lluoedd, ac ni dderbyniaf e offrwm o'ch llaw.

e Eſay 1. 11. Jer. 6. 20. Amos 5. 21.

11 Canys f o gyfodiad haul hyd ei fachludiad hefyd, mawr *fydd* fy enw ym mysg y Cenhedloedd: ac g ym mhob lle arogldarth a offrymmir i'm henw, ac offrwm pur: canys mawr *fydd* fy enw ym mhlith y cenhedloedd, medd ARGLWYDD y lluoedd.

f Pſal. 113. 3. Eſay 59. 19. g 1 Tim. 2. 8.

12 ¶ Ond chwi a'i halogaſoch ef, pan ddywedaſoch, Bwrdd yr ARGLWYDD *sydd* halogedig; a'i ffrwyth, *sef* ei fwyd, ſydd ddirmygus.

13 Chwi hefyd a ddywedaſoch, Wele, pa flinder *yw!* † a ffroenaſoch arno, medd ARGLWYDD y lluoedd; a dygaſech yr hyn a 'ſglyfaethwyd, a'r cloff, a'r clwyfus: fel hyn y dygaſoch offrwm: a fyddaf fi foddlon i hynny o'ch llaw chwi? medd yr ARGLWYDD.

† Neu, *lle y gallasech ei chwythu ymaith.*

14 Ond melldigedig h *yw*'r twyllodrus, yr hwn y mae yn ei ddiadell wrryw, ac a addunna ac a abertha *un* llygredig i'r ARGLWYDD: canys i Brenhin mawr *ydwyf* fi, medd ARGLWYDD y lluoedd, a'm henw *sydd* ofnadwy ym mhlith y cenhedloedd.

h Adn. 8. i Pſal. 47. 2.

## PEN. II.

1 *Y mae yn ceryddu yr offeiriaid yn dost, am esgeuluſo eu cyfammod; 11 a'r bobl, am eu gau-dduwiaeth, 14 a'u godineb, 17 a'u hanffyddlondeb.* Medi 26. B.

Cylch 397.

AC yr awr hon, chwi offeiriaid, i chwi *y mae*'r gorchymyn hwn.

2 a Oni wrandewch, ac oni ystyriwch, i roddi anrhydedd i'm henw i, medd

a Lef. 26. 14, &c. Deut. 28. 15 &c.

ARGLWYDD y lluoedd; yna mi a anfonaf felldith arnoch chwi, ac a felldithiaf eich bendithion chwi: ïe, myfi a'u melldithiais eisoes, am nad ydych yn ystyried.

3 Wele fi yn † llygru eich had chwi, a ‡ thaenaf dom ar eich wynebau, *sef* tom eich uchel-wyliau; ac § *un* a'ch cymmer chwi || atto ef.

4 Hefyd cewch wybod mai myfi a anfonais attoch y gorchymyn hwn, fel y byddai fy nghyfammod â Lefi, medd ARGLWYDD y lluoedd.

5 b Fy nghyfammod ag ef oedd am fywyd a heddwch; a mi a'u rhoddais hwynt iddo c *am* yr ofn â'r hwn y'm hofnodd, ac yr arswydodd o flaen fy enw.

6 Cyfraith gwirionedd oedd yn ei enau ef, ac anwiredd ni chafwyd yn ei wefusau: mewn hedd ac uniondeb y rhodiodd gyd â mi, a llaweroedd a drodd efe oddi wrth anwiredd.

7 Canys d gwefusau 'r offeiriad a gadwant wybodaeth, a'r gyfraith a geisiant o'i enau ef: o herwydd cennad ARGLWYDD y lluoedd *yw* efe.

8 Ond chwi a giliasoch allan o'r ffordd, ac e a barasoch i laweroedd † dramgwyddo wrth y gyfraith; f llygrasoch gyfammod Lefi, medd ARGLWYDD y lluoedd.

9 Am hynny g minnau hefyd a'ch gwneuthum chwi yn ddirmygus ac yn ddiystyr gan yr holl bobl; megis na chadwasoch fy ffyrdd i, ond bod yn ‡ derbyn wynebau yn y gyfraith.

10 h Onid un Tad *sydd* i ni oll? i onid un Duw a'n creodd ni? paham y gwnawn yn anffyddlon bob un yn erbyn ei frawd, gan halogi cyfammod ein tadau?

11 ¶ Judah a wnaeth yn anffyddlon, a ffieidd-dra a wnaethpwyd yn Israel ac yn Jerusalem: canys Judah a halogodd sancteiddrwydd yr ARGLWYDD yr hwn § a hoffasai, ac k a brïododd ferch duw dïeithr.

12 Yr ARGLWYDD a dyrr ymaith y gwr a wnel hyn; || yr athraw a'r disgybl o bebyll Jacob, ac offrymmydd offrwm i ARGLWYDD y lluoedd.

13 Hyn hefyd eilwaith a wnaethoch, gan orchuddio â dagrau allor yr ARGLWYDD trwy wylofain a gweiddi; fel nad edrych efe mwyach ar yr offrwm, ac na chymmer *ef yn* foddlon o'ch llaw chwi.

14 ¶ Er hynny chwi a ddywedwch, Pa herwydd? O herwydd mai'r ARGLWYDD a fu dyst rhyngot ti a rhwng l gwraig dy ieuengctid, yr hon y buost † anffyddlon iddi; er ei *bod* yn gymmar it', ac yn wraig m dy gyfammod.

15 n Onid un a wnaeth efe? a'r yspryd ‡ yngweddill ganddo: a pha ham un? I geisio § had duwiol: am hynny gwyliwch ar eich yspryd, ac na fydded *neb* anffyddlon yn erbyn gwraig ei ieuengctid.

16 o || Pan gasâech di *hi*, gollwng *hi* ymaith, medd yr ARGLWYDD, DUW Israel: canys gorchuddio y mae efe drais â'i wisg, medd ARGLWYDD y lluoedd: gan hynny gwyliwch ar eich yspryd, na fyddoch anffyddlon.

17 ¶ p Blinasoch yr ARGLWYDD â'ch geiriau: a chwi a ddywedwch, Ym mha beth y blinasom *ef?* q Am i chwi ddywedyd, Pob gwneuthurwr drwg *sydd* dda yngolwg yr ARGLWYDD, ac iddynt y mae efe yn foddlon; neu, Pa le *y mae* DUW y farn?

† Neu, *argyoeddi.*
‡ Heb. *gwasgarof.*
§ Neu, *efe.*
|| Neu, *gyd ag ef.*
b Num. 25. 12.
c Deut. 33. 8, 9.
d Deut. 17. 9, 10. Jer. 18. 18.
e 1 Sam. 2. 17. Jer. 18. 15.
† Heb. *gwympo yn.*
f Neh. 13. 29.
g 1 Sam. 2. 30.
‡ Neu, *dueddol yn y gyfraith,* neu, *dyrchafu wynebau.*
h Eph. 4. 6.
i Job 31. 15.
§ Neu, *a ddylasai ei hoffi.*
k Ezra 9. 1. a 10. 2. Neh. 13. 23.
|| Neu, *y gwyliwr a'r attebwr.*
l Diar. 5. 18.
† Neu, *fradwraidd.*
m Diar. 2. 17.
n Mat. 19. 5.
‡ Neu, *ynodidog.*
§ Heb. *had Duw.*
o Deut. 24. 1. Mat. 5. 32. a 19. 8.
|| Neu, *Canys dywed yr Arglwydd, Duw Israel, mai cas ganddo ollwng ymaith.*
p Esay 43. 24.
q Pen. 3. 15.

## PEN. III.

1 *Cennad, a mawrhydi, a gras Crist.* 7 *Anufudd-dod,* 8 *a chyssegr-ladrad,* 13 *ac anffyddlondeb y bobl.* 16 *Addaw bendith iddynt oddi wrth Dduw.*

WELE fi a yn anfon fy nghennad, ac efe b a † arloesa'r ffordd o'm blaen i: ac yn ddisymmwth y daw'r ARGLWYDD, yr hwn yr ydych yn ei geisio, i'w deml; sef ‡ angel y cyfammod yr hwn yr ydych yn ei chwennych: wele efe yn dyfod, medd ARGLWYDD y lluoedd.

2 Ond pwy a oddef ddydd ei ddyfodiad ef? a phwy a saif pan ymddangoso efe? canys *y mae* c efe fel tân y toddydd, ac fel sebon y golchyddion.

3 Ac d efe a eistedd *fel* purwr a glanhâwr arian: ac efe a bura feibion Lefi, ac a'u coetha hwynt fel aur ac fel arian, fel y byddont yn offrymmu i'r ARGLWYDD offrwm mewn cyfiawnder.

4 Yna e y bydd melus gan yr ARGLWYDD offrwm Judah a Jerusalem, megis yn y dyddiau gynt, ac fel § y blynyddoedd gynt.

5 A mi a nesâf attoch chwi i farn; a byddaf dyst cyflym yn erbyn yr hudolion, ac yn erbyn y godinebwŷr, ac yn erbyn yr anudonwŷr, ac yn erbyn cam-attalwŷr cyflog y cyflogedig, a'r rhai sy'n gorthrymmu 'r weddw, a'r ammddifad, a'r dïeithr, ac heb fy ofni i, medd ARGLWYDD y lluoedd.

6 Canys myfi 'r ARGLWYDD f ni'm newidir; g am hynny ni ddifethwyd chwi, meibion Jacob.

7 ¶ Er dyddiau eich tadau y ciliasoch oddi wrth fy neddfau, ac ni chadwasoch *hwynt:* h dychwelwch attaf fi, a mi a ddychwelaf attoch chwithau, medd ARGLWYDD y lluoedd: ond chwi a ddywedwch, Ym mha beth y dychwelwn?

8 ¶ A yspeilia dyn DDUW? etto chwi a'm hyspeiliasoch i: ond chwi a ddywedwch, Ym mha beth y'th yspeiliasom? i Yn y degwm a'r offrwm.

9 Melldigedig *ydych* trwy felldith: canys chwi a'm hyspeiliasoch i, *sef* yr holl genedl hon.

10 Dygwch yr holl ddegwm i'r k trysordy, fel y byddo bwyd yn fy nhŷ; a phrofwch fi'r awr hon yn hyn, medd ARGLWYDD y lluoedd, onid agoraf i chwi l ffenestri'r nefoedd, a m thywallt i chwi fendith, fel na *bo digon o le i'w derbyn.*

11 Myfi hefyd a argyoeddaf er eich mwyn chwi'r ormes, ac ni ddifwyna i chwi ffrwyth y ddaear: a'r winwŷdden yn y maes ni fwrw ei ffrwyth cyn yr amser i chwi, medd ARGLWYDD y lluoedd.

12 A'r holl genhedloedd a'ch galwant chwi yn wŷnfydedig: canys byddwch yn wlad hyfryd, medd ARGLWYDD y lluoedd.

13 ¶ n Eich geiriau chwi a ymgryfhaodd i'm herbyn, medd yr ARGLWYDD: etto chwi a ddywedwch, Pa beth a ddywedasom ni yn dy erbyn di?

14 Dywedasoch, Oferedd *yw* gwasanaethu DUW: a pha lesiant *sydd* er i ni gadw ei || orchymynion ef, ac er i ni rodio † yn alarus ger bron ARGLWYDD y lluoedd?

15 Ac yr awr hon o yr ydym yn galw'r beilchion yn wynfydedig: ïe, gweithredwŷr drygioni a adeiladwyd; ïe, *y rhai* p a demtiant DDUW, a waredwyd.

Medi 26. P S. Ioan Fedyddiwr, B.
Cyf. ch 397.
a Mat. 11. 10. Marc. 1. 2. Luc 1. 76. a 7. 27.
b Esay 40. 3.
† *barottoa.*
‡ *cennad.*
c Edrych Esay 4. 4. Mat. 3. 10, 11, 12.
d Esay 1. 25.
e Pen. 1. 11.
§ Neu, *yr hen flynyddoedd.*
f Num. 23. 19. Rhuf. 11. 29.
Iago 1. 17.
g Galat. 3. 22.
h Zech. 1. 3.
i Neh. 13. 10.
k 1 Chron. 26. 20. Neh. 13. 12.
l Gen. 7. 11. 2 Bren. 7. 2.
m 2 Chron. 31. 10.
n Job 21. 14, 15.
|| Heb. *gadwraeth.*
† Heb. *mewn du.*
o Pen. 2. 17.
p Psal. 95. 9.

16 ¶ Yna 'r rhai oedd yn ofni 'r Ar-
glwydd a lefarasant bob un wrth ei gym-
mydog: a'r Arglwydd a wrandawodd, ac
a glybu; ac ysgrifenwyd [q] llyfr coffadwri-
aeth ger ei fron ef i 'r rhai oedd yn ofni 'r
Arglwydd, ac i'r rhai oedd yn meddwl
am ei enw ef.
17 A [r] byddant eiddof fi, medd Ar-
glwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf
[s] † briodoledd; [t] arbedaf hwynt hefyd fel yr
arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu.
18 Yna y dychwelwch, ac y gwnewch
*rager* rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng
yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn ni's
gwasanaetho ef.

[q] Psal. 56. 8.
[r] Exod. 19. 5. Psal. 135. 4. Tit. 2. 14.
[s] Esay 62. 3.
† Neu, *drysor neillduol*, neu, *dlysau*.
[t] Psal. 103. 13.

## PEN. IV.

1 *Barn Duw ar yr enwir,* 2 *a'i fendith ar y*
*daionus.* 4 *Y mae yn eu hannog i fyfyrio*
*ar y gyfraith;* 5 *ac yn adrodd iddynt ddy-*
*fodiad a swydd Elias.*

Medi 27. B. S. Ioan Fedyddiwr, P.

Cylch 397.

CANYS wele 'r dydd yn dyfod yn llosgi
megis ffwrn; a'r holl feilchion, a holl
weithredwyr anwiredd, a fyddant [a] sofl: a'r
dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt, medd
Arglwydd y lluoedd, fel [b] na's gadawo
iddynt na gwreiddyn na changen.
[2] ¶ Ond [c] Haul cyfiawnder a gyfyd i
chwi y rhai ydych yn ofni fy enw, â me-
ddyginiaeth yn ei esgyll; a chwi a ewch
allan ac a gynnyddwch megis lloi pasg-
edig.
3 A chwi a sathrwch yr annuwiolion;
canys byddant yn lludw dan wadnau eich
traed chwi, yn y dydd y gwnelwyf *hyn*,
medd Arglwydd y lluoedd.
4 ¶ Cofiwch [d] gyfraith Moses fy ngwas,
yr hon a orchymynais iddo ef [e] yn Horeb i
holl Israel, [f] y deddfau a'r barnedigaethau.
5 ¶ Wele, mi a anfonaf i chwi [g] Elias y
prophwyd, cyn dyfod dydd mawr ac ofn-
adwy yr Arglwydd:
6 A [h] efe a dry galon y tadau at y plant,
a chalon y plant at eu tadau; rhag i mi ddy-
fod a tharo 'r ddaear â melldith.

[a] Obad. 18.
[b] Amos 2. 9.
[c] Luc 1. 78. Eph. 5. 14. 2 Petr 1. 19. Dat. 2. 28.
[d] Exod. 20. 3.
[e] Deut. 4. 10.
[f] Psal. 147. 19.
[g] Mat. 11. 14. a 17. 12. Marc 9. 11. Luc 1. 17.
[h] Preg. 48. 10.

TERFYN Y PROPHWYDI.

YR

# A P O C R Y P H A.

## ¶ I. ESDRAS.

### PEN. I.

*1 Gorchymyn Josias a'r Offeiriaid a'r Lefiaid. 7 Cadw Pasg mawr. 32 Mawr gŵyn am farwolaeth Josias. 34 Pwy a ddaeth ar ei ol ef. 53 Distrywio'r deml, a'r ddinas a'r bobl: 56 A chaeth gludo'r lleill i Babilon.*

623 A Josias a gadwodd [a] ŵyl y Pasg i'w Ar-
glwydd yn Jerusalem, ac a offrymmodd
yr *oen* Pasg ar y pedwerydd dydd ar ddeg
o'r mis cyntaf.

[a] 2 Bren. 23. 21. 2 Chron. 35. 1.

2 Ac a gyfleodd yr offeiriaid yn eu beunyddawl oruchwyliaethau, wedi eu dilladu mewn gwisgoedd lleision yn nhŷ 'r Arglwydd.

3 Ac efe a ddywedodd wrth y Lefiaid, sanctaidd weinidogion Israel, am iddynt hwy eu sancteiddio eu hunain i 'r Arglwydd, i osod Arch sanctaidd yr Arglwydd yn y tŷ a adeiladasai y brenhin Salomon mab Dafydd.

4 *Gan ddywedyd*, Na fydded hi mwyach yn faich i chwi ar ysgwydd: gwasanaethwch yn awr yr Arglwydd eich Duw, a gofelwch am ei bobl ef Israel, ac ymbarotôwch trwy eich teuluoedd, yn ol eich dosparthiadau, fel y 'sgrifenodd Dafydd brenhin Israel, ac yn ol mawredd † Salomon ei fab ef.

† 1 Chron. 23. 2. a 25. 16.

5 A sefwch yn y Deml, yn ol dosparthiad teulu eich tadau chwi y Lefiaid, ger bron eich brodyr meibion Israel.

6 Mewn trefn offrymmwch y Pasg, a pharottôwch yr aberthau i'ch brodyr; a chedwch y Pasg yn ol gorchymyn yr Arglwydd trwy *law* Moses.

7 A Josias a roddodd i'r bobl oedd yn bresennol ddeng-mil ar hugain o ŵyn a mynnod, a thair mil o eidionnau: hyn o gyfoeth y brenhin a roddwyd i'r bobl, ac i'r offeiriaid, ac i'r Lefiaid, yn ol yr addewid.

8 Yna Helcïas, a Zacharias, a ‡ Syelus, llywodraethwŷr y Deml, a roddasant i'r offeiriaid tu ag at y Pasg ddwy fil a chwe chant o ddefaid, a thri chant o eidionnau.

‡ Neu, *Jehïel.* 2 Chron. 35. 8.

9 Jechonïas hefyd, a Samaias, a Nathanäel ei frawd, a Sabaias, ac Ochïel, a Joram, milwriaid, a roddasant i'r Lefiaid ynghyfer y Pasg, bùm mil o ddefaid, a § seithgant o eidionnau.

§ 2 Chron. 35. 9. *tri chant.*

10 Pan orphennwyd hyn yn drefnus, yr offeiriaid a'r Lefiaid a safasant trwy 'r llwythau, a chanddynt fara croyw.

11 Yn ol dosparthiadau teuluoedd eu tadau, yngŵydd y bobl, i offrymmu i 'r Arglwydd, fel y mae yn 'sgrifennedig yn llyfr Moses: [b] ac felly y gwnaethant y bore.

[b] 2 Chron. 35. 12. *ac felly am yr eidionnau.*

12 A hwy [c] a rostiasant yr *oen* Pasg wrth dân yn ol y ddefod, a'r offrymmau a ferwasant gyd â phêr-aroglau mewn pedyll a chrochanau, ac a'u rhoddasant ger bron yr holl bobl:

[c] Exod. 12. 8.

13 Wedi hynny y parotoisant iddynt eu hunain, ac i'w brodyr yr offeiriaid, meibion Aaron.

14 Canys yr offeiriaid a offrymment y brasder hyd yr hwyr: a'r Lefiaid a barotöent iddynt eu hunain, ac i'w brodyr yr offeiriaid, meibion Aaron.

15 A'r cantorion sanctaidd, meibion Asaph oedd yn eu cyfle, yn ol gorchymyn [d] Dafydd, sef Asaph, Zacharïas, Jeduthun, [e] gweledydd y brenhin.

[d] 2 Chron. 35. 15. *Dafydd ac Asaph.*

16 A'r porthorion oedd ym mhob porth: ni chaent hwy ymadaw o'u gwasanaeth; canys eu brodyr y Lefiaid a barottöent iddynt hwy.

[e] 2 Chron. 35. 15.

17 Felly y gorphennwyd holl wasanaeth yr Arglwydd y dwthwn hwnnw,

18 Gan gynnal y Pasg, ac offrymmu poethoffrymmau ar allor yr Arglwydd, yn ol gorchymyn y brenhin Josias.

19 Felly meibion Israel, y rhai oedd bresennol, a gynhaliasant y pasg yr amser hwnnw, a gŵyl y bara croyw dros saith niwrnod.

20 Ac ni chynhaliasid Pasg fel hwnnw yn Israel, er amser Samuel y prophwyd.

21 Ac ni chynhaliodd neb o frenhinoedd Israel y cyffelyb Basg ag a gynhaliodd Josias, a'r offeiriaid, a'r Lefiaid, a'r Iuddewon, a holl Israel, a'r rhai oedd bresennol o drigolion Jerusalem.

22 Yn y ddeunawfed flwyddyn o deyrnasiad Josias y cynhaliwyd y Pasg hwnnw.

23 A gweithredoedd Josias oeddynt uniawn ger bron ei Arglwydd, â chalon gyflawn o dduwioldeb.

24 Ac am y pethau a ddigwyddasant yn ei amser ef, y maent hwy yn 'sgrifenedig o'r blaen, o ran y rhai a bechasant, ac a fuant annuwiol yn erbyn yr Arglwydd, rhagor pob cenedl a theyrnas, gan ei dristäu ef yn ddirfawr, fel y cyfododd geiriau 'r Arglwydd yn erbyn Israel.

25 [f] Wedi darfod i Josias y pethau hyn,
y digwyddodd i Pharaoh brenhin yr Aipht,
ddyfod i ryfela yn erbyn Carchamis ar Eu- 610.
phrates; a Josias a aeth i'w gyfarfod ef.

[f] 2 Chron. 35. 20.

26 Ond brenhin yr Aipht a anfonodd atto ef, gan ddywedyd, Beth sydd i mi a wnelwyf â thi, brenhin Judea?

27 Nid yn dy erbyn di y'm gyrrodd yr Arglwydd Dduw; ond fy rhyfel i sydd ar Euphrates. Ac yn awr yr Arglwydd sydd gyd â mi, a'r Arglwydd sydd gyd â mi, yn peri i mi frysio: ymado â mi, ac na wrthwyneba 'r Arglwydd.

28 Ond ni throai Josias ei gerbyd oddi wrtho ef, eithr efe a ymdaclodd i ymladd ag ef, heb ystyried geiriau Jeremi y prophwyd, o enau yr Arglwydd.

29 Ac efe a fyddinodd yn ei erbyn yn
nyffryn Megido. A'r tywysogion a ddaeth-
ant i wared at frenhin Josias.
30 A'r brenhin a ddywedodd wrth ei
weision, dygwch fi allan o'r gâd; canys
yr ydwyf yn llesg iawn. Ac yn ebrwydd ei
weision a'i dygasant ef allan o'r gâd.
31 Yna efe a esgynnodd i'w ail gerbyd;
ac wedi iddo ddychwelyd i Jerusalem, efe
a fu farw, ac a gladdwyd ym meddrod ei
dadau.
32 A thrwy holl Judah y galarwyd am
Josias; a Jeremi y prophwyd a alarnadodd
am Josias, a'r llywodraethwŷr a'u gwragedd
a wnaethant gwynfan mawr am Josias, hyd
y dydd heddyw. Ac fe aeth hynny yn dde-
fod i'w wneuthur yn wastad ym mhlith holl
genedl Israel.
33 Y mae'r pethau hyn yn 'sgrifenedig
yn llyfr historiau brenhinoedd Judah, a phob
gweithred a'r a wnaeth Josias; a'i ogoni-
ant, a'i wybodaeth ynghyfraith yr Ar-
glwydd, a'r pethau a wnaethai efe o'r blaen,
a'r pethau *a hysbyswyd* y pryd hyn, sy'n
'sgrifenedig yn llyfr brenhinoedd Israel a
Judah.
g 2 Bren. 23. 30. 2 Chron. 36. 1. 34 g A'r bobl a gymmerasant Joachas fab
Josias, ac a'i hurddasant ef yn frenhin yn lle
Josias ei dad, pan oedd efe yn dair blwydd
ar hugain o oed.
35 Ac efe a deyrnasodd yn Judea, ac
yn Jerusalem dri mis: ac yna brenhin yr
Aipht a'i tynnodd ef ymaith o deyrnasu yn
Jerusalem.
36 Ac efe a drethodd ar y wlad gan ta-
lent o arian, ac un dalent o aur.
37 A brenhin yr Aipht a wnaeth Joacim
ei frawd ef yn frenhin Judea a Jerusa-
lem.
38 Ac efe a rwymodd Joacim a'r llywo-
draethwŷr: ac efe a ddaliodd Zaraces ei
frawd, ac a'i dug ef ymaith i'r Aipht.
h 2 Chron. 36. 4. 5. *Jehoiacim, neu, Eliacim.* 39 h Joacim oedd bùm mlwydd ar hu-
gain, pan ddechreuodd efe deyrnasu yn
Judea a Jerusalem, ac efe a wnaeth yr hyn
oedd ddrwg yngolwg yr Arglwydd.
606. 40 Am hynny Nabuchodonosor brenhin
Babilon a ddaeth i fynu yn ei erbyn ef, ac
a'i rhwymodd ef â chadwyn bres, ac a'i
dug ef ymaith i Babilon.
41 Yna Nabuchodonosor a gymmerth o
lestri sanctaidd yr Arglwydd, ac a'u dug
hwynt ymaith, ac a'u rhoddes yn ei Deml
ei hun, o fewn Babilon.
42 Ond ei holl weithredoedd ef, a'i ha-
logedigaeth a'i anwiredd, sydd yn 'sgrifen-
edig yng Nghroniclau'r brenhinoedd.
599. 43 A Joacim ei fab a deyrnasodd yn ei le
ef: a deunaw mlwydd oed oedd efe, pan
urddwyd ef yn frenhin:
44 A thri mis a deng niwrnod y teyr-
nasodd efe yn Jerusalem: ac yntau a
wnaeth yr hyn oedd ddrwg yngolwg yr
Arglwydd.
45 Felly ym mhen y flwyddyn Nabu-
chodonosor a anfonodd, ac a'i dug ef i
Babilon, gyd â llestri sanctaidd yr Ar-
glwydd.
599. 46 Ac a wnaeth Zedecias yn frenhin Ju-
dea a Jerusalem, pan oedd efe yn un mlwydd
ar hugain o oed; ac efe a deyrnasodd un
mlynedd ar ddeg.
i Jer. 25, &c. 47 i Ac efe a wnaeth yr hyn oedd ddrwg
yngolwg yr Arglwydd, ac nid ofnodd y
geiriau a ddywedasai Jeremi y prophwyd
wrtho, o enau'r Arglwydd.

48 Ac yn ol iddo ef fod wedi ei dyngu 593.
i Nabuchodonosor, efe a dyngodd anudon
i Enw yr Arglwydd, ac a wrthryfelodd, ac
a galedodd ei warr a'i galon ac a drese-
ddodd gyfreithiau Arglwydd Dduw Is-
rael.
49 A phennaethiaid y bobl a'r offeiriaid
a wnaethant lawer o anwiredd yn erbyn
y cyfreithiau, ac a ragorasant ar holl frynti
'r holl genhedloedd, ac a halogasant Deml
yr Arglwydd yr hon a gyssegrasid yn Je-
rusalem.
50 Er hynny Duw eu tadau a ddanfon-
odd ei gennad i'w galw hwy drachefn, am
iddo fod yn eu harbed hwynt, a'i Daber-
nacl ei hun.
51 Ond hwynt-hwy a watwarent ei gen-
hadau ef, a'r dydd yr ymddiddanai'r Ar
glwydd *â hwynt,* hwy a watwarent ei bro-
phwydi ef.
52 O'r diwedd, efe a ddigllonodd wrth ei 590.
bobl am eu camweddau mawrion, ac efe
a barodd i frenhinoedd y Caldeaid ddyfod
i fynu yn eu herbyn hwynt.
53 Y rhai hyn a laddasant eu gwŷr ieu- 588.
aingc â'r cleddyf o fewn amgylchoedd eu
Teml sanctaidd, ac ni pharchasant na gŵr
ieuangc, na morwyn na henwr, na phlentyn,
yn eu plith hwynt.
54 Eithr efe a'u rhoddes hwynt oll yn eu
dwylaw hwy, a holl lestri sanctaidd yr Ar-
glwydd, mawrion a bychain, a llestri Arch
Duw; a thrysorau'r brenhin a gymmera-
sant hwy, ac a ddygasant ymaith i Babilon.
55 A hwy a losgasant Deml yr Arglwydd,
ac a dorrasant i lawr furiau Jerusalem, ac a
losgasant ei thyrau â thân.
56 Difwynasant hefyd ei holl bethau
gwerthfawr, ac a'i dinystriasant: ac efe
a ddug ymaith y rhai a weddillasai'r cle-
ddyf, i Babilon.
57 Y rhai a fuant yn gaeth-weision iddo
ef ac i'w feibion, nes teyrnasu o'r Persiaid;
fel y cyflawnid k gair yr Arglwydd, *yr* k Jer. 25. 11. a 29. 10.
*hwn a ddywedasai efe* trwy enau Jeremi.
58 Fel y mwynhâi'r wlad ei Sabbothau,
yr holl amser y bu hi yn ddiffaethwch, ac y
gorphwysai hyd oni chyflawnwyd deng-
mlynedd a thrugain.

PEN. II.

1 *Duw yn cynhyrfu Cyrus i adeiladu'r Deml;*
*5 ac yntau yn rhoi cennad i'r Iuddewon*
*i ddychwelyd, ac i roi peth tu ag at y*
*gwaith: 11 Ac yn rhoi yn eu hol y llestri a*
*ddygasid oddi yno. 25 Artaxerxes yn gwa-*
*rafun i'r Iuddewon adeiladu.*

YN a y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad 536.
Cyrus brenhin y Persiaid, i gyflawni a 2 Chron. 36. 22. Ezra 1. 1, &c.
gair yr Arglwydd o enau Jeremi.
2 Yr Arglwydd a annogodd ysbryd Cy-
rus brenhin y Persiaid, fel y cyhoeddodd
efe trwy ei holl deyrnas, a *hynny* mewn
ysgrifen,
3 Gan ddywedyd, Fel hyn y dywed Cy-
rus brenhin y Persiaid; Arglwydd Israel,
sef, yr Arglwydd goruchaf a'm gwnaeth i
i yn frenhin ar yr holl fyd,
4 Ac a orchymynodd i mi adeiladu iddo
dŷ yn Jerusalem, yr hon sydd yn Judea.
5 *Am hynny* od oes neb o honoch chwi
o'i bobl ef, bydded yr Arglwydd, *sef* ei
Arglwydd gyd ag ef, ac eled i fynu i Jeru-
salem, yr hon sydd yn Judea, ac adeiladed
dŷ Arglwydd Israel: canys † efe yw'r Ar- † *hwn.*
glwydd sydd yn preswylio yn Jerusalem.

6 A phwy bynnag sydd yn cyfanneddu 'r lleoedd hynny o'u hamgylch, cynnorthwyed *y rhai sydd yno* ef ag aur, ac ag arian.

7 A rhoddion, a meirch ac anifeiliaid, gyd ag addunol offrymmau i Deml yr Arglwydd, yr hon sydd yn Jerusalem.

8 ¶ Yna pennaethiaid teuluoedd Judea, a llwyth Benjamin, a'r offeiriaid, a'r Lefiaid a gyfodasant, a chymmaint oll ag y cynhyrfodd yr Arglwydd eu meddwl i fyned i fynu, ac i adeiladu tŷ i'r Arglwydd yn Jerusalem.

9 A'r rhai oedd o'u hamgylch hwynt a'u cynnorthwyasant ym mhob peth, ag arian, ac ag aur, â meirch, ac anifeiliaid, ac â llawer iawn o addunol roddion, y rhai yr oedd eu meddwl wedi eu cynhyrfu *at hynny.*

10 Brenhin Cyrus hefyd a ddug allan lestri sanctaidd yr Arglwydd, y rhai a ddygasai Nabuchodonosor ymaith o Jerusalem, ac a'u cyssegrasai yn nheml ei eilunod,

11 A phan ddug Cyrus brenhin y Persiaid hwynt allan, efe a'u rhoddodd hwynt at Mithridates ei drysorydd,

† Gr. *Sasbazar.* 12 I'w rhoddi hwynt i † Sanabassar rhaglaw Judea.

13 Dyma eu rhifedi hwynt; Mil o gawgiau aur, a mil o gawgiau arian, o noeau arian i'r ebyrth naw ar hugain, deg ar hugain o phïolau aur, ac o arian [b] ddwy fil pedwar cant a deg; a mil o lestri eraill.

[b] Ezra 1. 10. *bedwar cant a deg.*

14 Felly yr holl lestri aur ac arian, y rhai a ddygasid ymaith, oedd [c] bùm mil, pedwar cant, a naw a thrugain.

[c] Ezra 1. 11. *bum mil a phedwar cant.*

15 A Sanabassar a'u dug hwynt gyd â'r *rhai a aethant* o gaethiwed Babilon i Jerusalem.

16 ¶ [d] Ond yn amser Artaxerxes brenhin y Persiaid; Belemus, a Mithridates, a Thabelius, a ‡ Rathumus, a Beeltethmus, a § Semelius y 'sgrifenydd, ac eraill o'u cydswyddwŷr hwynt, y rhai oedd yn aros yn Samaria, ac mewn lleoedd eraill, a 'sgrifenasant atto y llythyr hwn yn erbyn y rhai oedd yn preswylio yn Judea a Jerusalem: At y Brenhin Artaxerxes ein harglwydd,

[d] Ezra 4. 7.
‡ Gwel Ezra 4. 9.
§ *Simsai* Ezra 4. 8.

17 Dy weision di, Rathumus 'sgrifenydd historiau, a Semelius y 'sgrifenydd, ac eraill o'u cyd-gynghorwŷr, a'r barnwŷr sydd yn Coelosyria ac yn Phenice:

18 Bydded hysbys i'n harglwydd frenhin, fod yr Iuddewon a ddaethant oddi wrthych chwi attom ni i Jerusalem, (y ddinas wrthryfelgar ddrygionus honno) yn adeiladu 'r farchnadle, ac yn adnewyddu ei muriau hi, ac yn gosod sylfaenau 'r Deml.

19 Yn awr os adeiledir y ddinas hon, ac adnewyddu ei muriau hi, ni wrthodant yn unig dalu teyrn-ged, eithr hwy a wrthwynebant frenhinoedd.

20 O herwydd bod y pethau sy'n perthynu i'r Deml yn myned rhagddynt, ni thybiasom fod yn weddaidd gollwng heibio y fath beth:

21 Eithr ei ddangos ef i'n harglwydd y brenhin, modd y gallech di, o rhyngai fodd i ti, chwilio yn llyfrau dy dadau,

22 A thi a gei yn y Chroniclau, y pethau sy 'sgrifenedig am y pethau hyn, fel y caffych wybod fod y ddinas hon yn gwrthryfela, ac yn gwneuthur blinder i frenhinoedd, ac i ddinasoedd,

23 A bod yr Iuddewon yn wrthryfelgar, ac yn magu terfysgau ynddi erioed; o herwydd yr hwn beth y darfu dinystrio 'r ddinas hon.

24 Am hynny yn awr, O Arglwydd frenhin, yr ydym ni yn hysbysu i ti, os adeiledir y ddinas hon, ac os cyweirir ei muriau hi, ni bydd i ti ffordd i fyned i Coelosyria, nac i Phenice.

25 ¶ Yna y brenhin a 'sgrifenodd drachefn at Rathumus yr historiawr, ac at Beeltethmus, ac at Semelius y 'sgrifenydd, ac at eraill o'u cyd-swyddwŷr, a thrigolion Samaria, Syria, a Phenice, yn y wedd hon;

26 Myfi a ddarllenais y llythyr a ddanfonasoch attaf: am hynny mi a orchymynais chwilio, ac fe a gafwyd fod y ddinas hon erioed yn gwrthwynebu brenhinoedd,

27 A bod ei phobl yn gwneuthur terfysgoedd a rhyfeloedd, a bod brenhinoedd cryfion a chedyrn yn teyrnasu yn Jerusalem, y rhai oedd yn teyrnasu, ac yn mynnu teyrn-ged o Coelosyria, a Phenice.

28 O herwydd hynny y gorchymynais yn awr wahardd i'r gwŷr hyn adeiladu 'r ddinas, a gwylied rhag gwneuthur o honynt ddim mwyach.

29 Ac na chaffai 'r gweithwŷr drygionus hynny fyned rhagddynt ym mhellach, i flino 'r brenhin.

30 Ac wedi i Rathumus, a Semelius yr ysgrifenydd, ac eraill eu cyd-swyddwŷr ddarllen y pethau a 'sgrifenasai 'r brenhin Artaxerxes, yna hwy a ddaethant ar ffrwst i Jerusalem, â byddin o wŷr meirch, a ‖ sawdwŷr lawer, ac a ddechreuasant rwystro 'r adeiladwŷr, fel y peidiodd adeiladaeth y Deml yn Jerusalem, hyd yr ail flwyddyn o deyrnasiad Darïus brenhin y Persiaid.

‖ Neu, *Lliaws, bobl.*

## PEN. III.

4 *Tri yn ymryson am y goreu, mewn ymadroddion doethion:* 9 *Ac yn rhoi ar farn y Brenhin:* 13 *A'r cyntaf o honynt yn dangos mor nerthol yw gwin.*

A Phan oedd Darïus yn teyrnasu, efe a wnaeth wledd fawr i'w holl ddeiliaid, ac i'w holl deulu, ac i holl lywodraethwŷr Media a Phersia,

2 Ac i'r holl bennaethiaid, a'r blaenoriaid, a'r swyddwŷr oedd tano ef, o India hyd Ethiopia, trwy gant a saith ar hugain o daleithiau.

3 Ac wedi iddynt fwytta ac yfed, a'u digoni, hwy a aethant ymaith: a'r brenhin Darius a aeth i'w 'stafell, ac a gysgodd *ychydig*, ac a ddeffrôdd.

4 Yna y tri wŷr ieuaingc, y rhai oedd yn cadw corph y brenhin, a ddywedasant y naill wrth y llall.

5 Dyweded pob un o honom ni air godidog: a'r neb a orchfygo, ac y gweler ei air yn ddoethach nâ 'r lleill, Darius y brenhin a ddyry iddo ef fawr roddion, yn arwydd o fuddugoliaeth;

6 Sef gwisgo porphor, ac yfed mewn llestri aur, a chysgu mewn dillad goreuraid, a cherbyd a ffrwynau o aur, a gwisg pen o sidan, a chadwyn am ei wddf:

7 Ac efe a gaiff eistedd yn nesaf at Ddarïus o herwydd ei ddoethineb, ac efe a elwir yn gâr i Ddarïus.

8 Yna pob un a 'sgrifenodd ei air, ac a'i seliodd, a hwy a'u rhoddasant dan obennydd y brenhin Darïus,

9 Ac a ddywedasant, Pan ddeffro'r brenhin y rhoddir iddo yr ysgrifen, a phwy bynnag y barno'r brenhin a thri thywysog Persia, fod ei air yn ddoethaf, efe a gaiff y fuddugoliaeth, fel yr ysgrifenwyd.
10 Un a 'sgrifenodd, Trechaf yw gwin.
11 Y llall a 'sgrifenodd, Trechaf yw brenhin.
12 Y trydydd a 'sgrifenodd, Trechaf yw gwragedd; ond uwch law pob peth, gwirionedd a orchfyga.
13 ¶ A phan ddeffrodd y brenhin, hwy a gymmerasant eu 'sgrifenau, ac a'u rhoddasant iddo, ac efe a'u darllenodd hwynt.
14 Ac efe a yrrodd i alw am holl bendefigion Persia, a Media, a'r pennaethiaid, a'r blaenoriaid, a'r llywodraethwŷr, ar swyddwŷr,
15 Ac efe a eisteddodd yn y frawdle: a'r 'sgrifenau a ddarllenwydd ger eu bron hwynt.
16 Yna efe a ddywedodd, Gelwch y gwŷr ieuaingc, fel y mynegont eu geiriau eu hunain. Felly hwy a'u galwasant hwy, a hwythau a ddaethant i mewn.
17 Ac efe a ddywedod wrthynt, Hysbyswch i ni y 'sgrifenau. Yna y cyntaf a ddechreuodd, yr hwn a ddywedasai am nerth y gwin,
18 Ac a ddywedodd fel hyn, O chwychwi wŷr, mor nerthol yw gwin, yr hwn sydd yn twyllo pob dŷn a'r a'i hyfo!
19 Y mae efe yn gwneuthur yr un meddwl gan y brenhin a chan yr amddifad, gan y caeth a'r rhŷdd, gan y tlawd a'r cyfoethog.
20 Y mae efe yn troi pob meddwl i ddigrifwch a llawenydd, fel na chofio dŷn na thristwch na dyled.
21 Ac y mae efe yn gwneuthur pob calon yn hael, ac ni feddwl am frenhin na phennaeth, ac efe a bair adrodd y cwbl wrth dalentau.
22 A phan fyddont wedi yfed, nid argofiant garu na chyfeillion na brodyr, ac wedi hynny ar fyrder y tynnant gleddyfau.
23 Ac wedi iddynt ddadebru o'r gwin, ni ddaw yn eu cof, beth a wnaethant.
24 Oh ha wŷr, onid trechaf yw gwin, yr hwn sydd yn peri y cyfryw bethau? Ac wedi iddo ef ddywedyd felly, efe a dawodd.

PEN. IV.

1 *Yr ail yn dangos mor nerthol yw Brenhin,* 14 *A'r trydydd mor nerthol yw Gwragedd;* 33 *a'r Gwirionedd:* 41 *A hwnnw yn cael ei farnu yn ddoethaf,* 47 *ac yn cael llythyrau gan y brenhin i adeiladu Jerusalem:* 58 *ac yn moliannu Duw, ac yn mynegi i'w frodyr beth a wnaethai efe.*

YNA yr ail, yr hwn a ddywedasai am nerth y brenhin, a ymadroddodd,
2 Oh chwychwi wŷr, onid trechaf yw dynion, y rhai sydd yn llywodraethu môr a thir, a'r hyn oll sydd ynddynt?
3 Ond y mae'r brenhin yn gryfach, ac yn rheoli'r cwbl; efe sydd yn arglwyddiaethu arnynt hwy: a'r hyn oll a archo efe iddynt, hwy a'i gwnânt.
4 Od eirch efe iddynt ryfela y naill ar y llall, hwy a wnânt hynny: os denfyn efe hwynt yn erbyn y gelynion, hwy a ânt, ac a dorrant i lawr fynyddoedd, muriau, a thyrau.
5 Hwy a laddant, ac a leddir, ac ni thorrant orchymyn y brenhin: os gorchfygant, i'r brenhin y dygant y cwbl, yn gystal yr anrhaith a phob peth arall:
6 A'r sawl nid elo i derfysg, ac i ryfel, eithr llafurio'r ddaear; wedi iddynt ei hau, hwy a'i medant, ac a'i dygant i'r brenhin, ac a gymhellant y naill y llall i dalu teyrn-ged i'r brenhin.
7 Ac etto nid yw efe ond un dŷn. Od eirch efe ladd, fe a leddir; od eirch efe arbed, fe a arbedir;
8 Od eirch efe daro, hwy a darawant; od eirch efe ddiffaethio, hwy a ddiffaethiant; od eirch efe adeiladu, hwy a adeiladant;
9 Od eirch efe dorri i lawr, hwy a dorrant; od eirch efe blannu, hwy a blannant.
10 Felly ei holl bobl a'i holl luoedd, sydd yn ufuddhâu iddo ef: ac yn y cyfamser efe a eistedd i lawr, ac a fwytty, ac a yf, ac a huna.
11 Canys y rhai hyn a'i cadwant ef o amgylch ogylch; ac ni ddichon neb fyned ymaith i'w negesau ei hun, ac ni byddant anufudd iddo mewn dim.
12 Oh chwychwi wŷr, onid trechaf y brenhin, gan ei fod efe yn cael y cyfryw rwysg? Ar hynny efe a dawodd.
13 ¶ Yna y trydydd, yr hwn a ddywedasai am wragedd, a gwirionedd, (hwnnw oedd Zorobabel) a ddechreuodd ymadroddi:
14 O chwychwi wŷr, nid y brenhin mawr, na lliaweroedd o ddynion, na gwin, sydd drechaf: pwy ynte a feistrola arnynt hwy, a phwy a'u gorchfyga hwynt, ond y gwragedd?
15 Gwragedd a esgorasant ar y brenhin, ac ar yr holl bobl sydd yn llywodraethu môr a thir.
16 Ac o honynt hwy y ganwyd hwynt; a hwynt-hwy a fagasant y rhai a blannodd y gwinwŷdd, o ba rai y gwneir y gwin.
17 Hwynt-hwy hefyd sy'n gwneuthur dillad i ddynion, ac yn gwneuthur gwŷr yn anrhydeddus; ac ni ddichon gwŷr fod heb y gwragedd.
18 Pe casglent aur ac arian, a phob peth gwerthfawr, oni charent hwy wraig lân brydweddol?
19 Oni ymadawent hwy â'r rhai hynny oll, ac oni ymroddent iddi hi, gan lygadrythu arni? a phawb a ddewisai ei chael hi o flaen aur, ac arian, a phob peth gwerthfawr.
20 Dŷn a ymedy â'i dad a'i magodd, ac â'i wlad, ac a ymlŷn wrth ei wraig.
21 Ac efe a anturia ei hoedl dros ei wraig, ac ni feddwl am dad, na mam, na gwlad.
22 Wrth hyn y gellwch wybod mai gwragedd sy'n meistroli arnoch chwi: onid ydych chwi yn llafurio, ac yn poeni, ac er hynny yn rhoddi, ac yn dwyn y cwbl i'r gwragedd?
23 Gwr a gymmer ei gleddyf, ac a â allan i ladd, ac i ladratta, ac i fordwyo ar fôr, ac afonydd,
24 Efe a edrych ar lew, ac a gerdd yn y tywyllwch, ac wedi hynny efe a ddwg gwbl o'i ladrad, a'i drais, a'i anrhaith at ei gariad.
25 Am hynny gwr a gâr ei wraig ei hun yn fwy nâ'i dad, neu ei fam.
26 Ie llawer a aethant allan o'u pwyll o herwydd gwragedd, a lliaweroedd a aethant yn weision er mwyn gwragedd.

27 Llawer hefyd a gyfrgollwyd, ac a gy-
feiliornwyd, ac a becbasant er mwyn gwra-
gedd.
28 Ac yn awr oni choeliwch chwi fi? onid
mawr yw'r brenhin yn ei allu? onid yw pob
teyrnas yn ofni cyffwrdd ag ef?
29 *Etto* mi a'i gwelais ef, ac Apame,
gordderch y brenhin, merch Bartacus ar-
dderchog, yn eistedd ar ddeheulaw'r bren-
hin,
30 Ac yn cymmeryd y goron oddi am ben
y brenhin, ac yn ei rhoddi am ei *phen* ei
hun, ac yn cernodio'r brenhin â'i llaw aswy,
31 Ac yntau yn safn-rhythu, ac yn edrych
arni; ac os chwarddai hi arno ef, yntau a
chwarddai; ac os dig fyddai hi wrtho ef,
yna y gwenieithai efe iddi hi, i gael ei chym-
mod.
32 O chwi wŷr, onid trechaf yw'r gwra-
gedd, gan eu bod hwy yn gwneuthur fel
hyn?
33 Yna'r brenhin a'r tywysogion a edrych-
asant bawb ar eu gilydd: ac yntau a dde-
chreuodd ymadrodd am y gwirionedd.
34 O chwi wŷr, onid nerthol yw gwra-
gedd? mawr yw'r ddaear, ac uchel yw'r
nef, a buan yw'r haul yn ei gwrs: canys efe
a dry o amgylch y nef mewn un dydd, ac a
red eilwaith i'w le ei hun.
35 Onid mawr yw efe, yr hwn sydd yn
gwneuthur y pethau hyn? Am hynny y
mae'r gwirionedd yn fwy ac yn grytach nâ
dim oll.
36 Yr holl ddaear sydd yn galw am wir-
ionedd, a'r nef sydd yn ei bendithio: a
phob peth sydd yn ysgwyd, ac yn crynu
*rhagddi*, ac nid oes dim anghyfiawn gyd â hi.
37 Drygionus yw gwin, drygionus yw'r
brenhin, a drygionus yw'r gwragedd, a
holl feibion dynion sydd ddrygionus, a'u
holl weithredoedd sy anwir, ac nid oes yn-
ddynt wirionedd, eithr yn eu hanwiredd y
darfyddant.
38 Ond y gwirionedd sydd yn aros, ac
sydd nerthol yn dragywydd, ac sydd yn
byw, ac yn teyrnasu yn oes oesoedd.
39 Gyd â hi nid oes derbyn wyneb na
gwobr: eithr y mae hi yn gwneuthur cyf-
iawnder, ac yn ymgadw rhag anghyfiawn-
der a drygioni, a phawb a ganmolant ei
gweithredoedd hi.
40 Ac nid oes yn ei barn hi ddim ang-
hyfiawn, ac y hi yw'r cadernid; a'r deyr-
nas, a'r gallu, a'r mawredd, trwy yr holl
oesoedd. Bendigedig fyddo Duw y gwir-
ionedd.
41 Ar hynny efe a beidiodd â llefaru.
Yna yr holl bobl a lefasant, ac a ddyweda-
sant, Mawr yw gwirionedd, a threchaf.
42 Yna y dywedodd y brenhin wrtho ef,
Gofyn y peth a fynnych, heb law yr hyn
sydd yn 'sgrifenedig, ac ni a'i rhoddwn ef
i ti, am dy gael di yn ddoethaf; a thi a gei
eistedd yn nesaf attaf fi, ac yn gâr i mi y'th
elwir.
43 Yna efe a ddywedodd wrth y brenhin,
Cofia'r adduned a addunaist y dydd y dae-
thost i'r frenhiniaeth, sef ar i ti adeiladu Je-
rusalem
44 A danfon eilwaith y llestri a ddygasid
ymaith o Jerusalem, y rhai a roddasai Cy-
rus o'r neilldu, pan addunodd efe ddinystrio
Babilon, a danfon hwy yno drachefn.
a Psal. 137 7. 45 Tithau hefyd a addunaist adeiladu'r
Ezec. 25. Deml [a] a losgodd yr Edomiaid, pan ddistry-
12. wiodd y Caldeaid Judea,
46 Ac yn awr, O Arglwydd frenhin,
Dyma'r peth yr ydwyf yn ei ddeisyf, ac yn
ei ofyn gennyt; a dyma'r mawredd a geisiaf
fi gennyt: am hynny yr ydwyf yn dymuno
arnat gyflawni'r adduned a addunaist â'th
enau dy hun i Frenhin y nef.
47 Yna Darïus y brenhin a gyfododd i
fynu, ac a'i cusanodd ef, ac a roddodd iddo
lythyrau at bawb o'i drysorwŷr, a'i lywod-
raethwŷr, a'r blaenoriaid, a'r swyddwŷr, ar
iddynt hwy ei hebrwng ef yn ddïogel, a'r
sawl oedd gyd ag ef yn myned i fynu i
adeiladu Jerusalem.
48 Ac efe a 'sgrifenodd lythyrau at holl
lywodraethwŷr Coelosyria a Phenice, ac at
y rhai oedd yn Libanus, ar iddynt hwy
gludo coed cedr o Libanus i Jerusalem, ac
adeiladu'r ddinas gyd ag ef.
49 Ac efe a 'sgrifenodd am yr holl Iudde-
won, y rhai oedd yn myned i fynu o'i deyr-
nas ef i Judea, ynghylch eu rhyddid, sef na
byddai i un pennaeth, na swyddog, na llv-
wodraethwr, na thrysorwr, fyned trwy nerth
i'w drysau hwynt;
50 Ac i'r holl wlad yr oeddynt hwy yn
ei pherchennogi fod yn rhydd oddi wrth
deyrn-ged; a bod i'r Edomiaid roddi iddynt
hwy y pen-trefydd yr oeddynt yn eu dal o'r
eiddo'r Iuddewon:
51 A rhoddi ugain o dalentau bob blwy-
ddyn tu ag at adeiladaeth y Deml, hyd oni
ddarfyddai ei hadeiladu hi,
52 A deg eraill o dalentau bob blwyddyn,
i gynnal y poeth-offrymmau ar yr allor beu-
nydd, (fel yr oedd y gorchymyn i offrwm
dau ar bymtheg;)
53 A bod i bawb a'r a elai o Babilon i
adeiladu'r ddinas, gael rhyddid yn gystal
iddynt eu hunain, ac i'w plant, a'r holl
offeiriaid a'r a aethent ymaith.
54 Ac efe a 'sgrifenodd am gyfreidiau, a
gwisgoedd yr offeiriaid, y rhai y gwasanae-
thent ynddynt.
55 Ac efe a 'sgrifenodd am iddynt hwy
roddi i'r Lefiaid eu cyfreidiau, nes gorphen
y tŷ, ac adeiladu Jerusalem.
56 Efe hefyd a 'sgrifenodd am iddynt
hwy roddi † dognau a chyflog i'r rhai oedd † Neu,
yn gwilied y ddinas. rhandi-
57 Ac efe a anfonodd o Babilon yr holl roedd.
lestri a roddasai Cyrus o'r neilldu: a pheth
bynnag a archasai Cyrus, efe a orchym-
ynodd ei wneuthur, a'i anfon i Jerusa-
lem.
58 A phan aeth y gwr ieuangc allan, efe
a ddyrchafodd ei wyneb i fynu i'r nef tu a
Jerusalem, ac a ddïolchodd i Frenhin y
nef,
59 Gan ddywedyd, Oddi wrthyt ti y mae
'r fuddugoliaeth, oddi wrthyt ti y mae'r
doethineb, ac eiddot ti yw'r gogoniant, a
minnau yw dy was di.
60 Bendigedig wyt ti, yr hwn a roddaist
i mi ddoethineb; clodforaf di, O Arglwydd
*Dduw ein* tadau.
61 Felly efe a gymmerth y llythyrau, ac
a aeth ymaith, ac a ddaeth i Babilon ac a
fynegodd i'w holl frodyr.
62 A hwy a fendithiasant Dduw eu tadau,
o herwydd iddo roddi iddynt hwy rwydd-
deb ac esmwythdra.
63 I fyned i fynu, ac i adeiladu Jeru-
salem, a'r Deml, yr hon a elwir ar ei
enw ef: a hwy a lawenychasant ag offer
cerdd, ac â gorfoledd, dros saith niwr-
nod.



Rr

PEN. V.

1 *Enwau a rhifedi'r Iuddewon a ddychwe-*
*lasant adref.* 50 *Gosod yr allor yn ei lle.*
57 *Gosod sylfeini'r Deml.* 73 *Rhuystro'r*
*gwaith dros amser.*

WEDI † 'r pethau hyn y detholwyd
pennaethiaid tai eu tadau, yn ol eu
llwythau, i fyned i fynu, â'u gwragedd,
a'u meibion, a'u merched, a'u gweision, a'u
morwynion, a'u hanifeiliaid.
2 A'r *brenhin* Darïus a anfonodd fil o
wŷr meirch gyd â hwynt, i'w hebrwng hwynt
yn ddïogel i Jerusalem, ynghŷd ag *offer*
cerdd, tympanau, a phibellau.
3 A'u holl frodyr hwynt oedd yn canu â
hwynt: Felly y gwnaeth efe iddynt fyned i
fynu gyd â hwynt.
4 A dyma enwau'r gwŷr a aethant i fynu
yn ol eu teuluoedd, wrth eu llwythau, yn ol
eu pennau cenedl.
5 Yr offeiriaid, meibion Phinehes fab
Aaron: Jesus *mab* Josedec, *fab* Saraias, a
Joacim, *mab* Zorobabel, *fab* Salathiel, o
dylwyth Dafydd, o genhedlaeth Phares, o
lwyth Judah.
6 [a] Yr hwn a lefarodd eiriau doethion
wrth Ddarïus brenhin y Persiaid, yn yr ail
flwyddyn o'i deyrnasiad ef, ar y mis Nisan,
hwnnw yw'r mis cyntaf.
7 A dyma hwy o Judah y rhai a ddaethant
i fynu o gaethiwed y gaeth-glud, y rhai a
gaeth-gludasai Nabuchodonosor brenhin Ba-
bilon, i Babilon.
536. 8 A hwy a ddychwelasant i Jerusalem, ac
i gyrrau eraill Judah, pob un i'w ddinas ei
hun, y rhai a ddaethent gyd â Zorobabel,
a Jesus, Nehemïas, [b] Zacharïas, a Resaias,
Enenius, Mardocheus, Beelsarus, [c] Aspha-
rasus, [d] Reelius, Roimus, a Baana, eu blae-
noriaid hwynt.
9 Eu rhifedi hwynt o'r genedl, a'u blaen-
oriaid: meibion [e] Phoros, dwy fil a chant
*a* deuddeg a thrugain; meibion [f] Saphat,
[g] pedwar cant, *a* deuddeg a thrugain;
10 Meibion Ares, saith gant, un ar bym-
theg a deugain;
11 Meibion Phaath Moab, dwy fil, wyth
gant a deuddeg;
12 Meibion Elam, mil, deucant, pedwar
ar ddeg a deugain: meibion [h] Zathi, naw
cant, pump a deugain; meibion [i] Corbe,
saith gant a phump; meibion Bani, chwe
chant ac wyth a deugain;
13 Meibion Bebai, chwe chant, tri ar
hugain; meibion [k] Asgad, tair mil, dau
cant a dau ar hugain;
14 Meibion Adonicam, chwe chant, saith
a thrugain; meibion [l] Bagoi, dwy fil, chwech
a thrugain: meibion Adin, pedwar cant,
pedwar ar ddeg a deugain;
15 Meibion [m] Aterhezïas, deuddeg a
phedwar ugain: meibion Ceilan, ac Azetas,
saith a thrugain; meibion Azuran, pedwar
cant, deuddeg ar hugain;
16 Meibion Ananïas, cant ac un; meib-
ion Arom, deuddeg ar hugain; a meibion
[n] Bassa, tri chant, tri ar hugain; meibion
Arsiphurith, cant a dau;
17 Meibion Meterus, tair mil, a phump;
meibion [o] Bethlomon, cant a thri ar hugain;
18 Hwynt-hwy o Netopha, pymtheg a
deugain; hwyntau o Anathoth, cant tri ar
bymtheg a deugain; hwynt o [p] Bethsamos,
dau a deugain;
19 Hwynt o [q] Ciriathiarius, pump ar
hugain; hwynt o Caphiras, a Beroth, saith
gant, tri a deugain; hwynt-hwy o Birath,
saith gant;
20 Hwynt o Chadïas, ac Ammidioi, ped-
war cant, dau ar hugain; hwynt o [r] Cyra-
ma, a [s] Gabdes, chwe chant, un ar hugain;
21 Hwynt o [t] Michmas, cant, dau ar hu-
gain; hwynt o [u] Bethel, deuddeg a deugain;
meibion [x] Nephis, cant, deg a deugain a
chwech;
22 Meibion [y] Calamolan, ac Onus, saith
gant, pump ar hugain; meibion Jerechus,
dau cant, pump a deugain;
23 Meibion [z] Sanaah, tair mil, tri chant,
a deg ar hugain.
24 Yr Offeiriaid: meibion [a] Jedu fab Je-
sus, ym mhlith meibion Sanasib, naw cant,
deuddeg a thrugain; meibion [b] Meruth, mil,
deuddeg a deugain;
25 Meibion [c] Pasur, mil, saith a deugain;
meibion [d] Harim, [e] mil, a deg a thrugain.
26 Y Lefiaid meibion [f] Jesue, Cadmiel,
Bannas, a Suias, pedwar ar ddeg a thrugain.
27 Y meibion *y rhai oedd* gantorion sanc-
taidd: meibion Asaph, cant, wyth ar hu-
gain.
28 Y porthorion: meibion [g] Salum, meib-
ion [h] Jatal, meibion Talmon, meibion [i] Da-
cobi, meibion [k] Teta, meibion [l] Sami, y cwbl
*oedd* gant, pedwar ar bymtheg ar hugain.
29 Gweinidogion y Deml, meibion [m] E-
sau, meibion [n] Asipha, meibion Tabaoth,
meibion [o] Ceras, meibion [p] Sud, meibion
[q] Phaleas, meibion Labana, meibion [r] Ha-
gaba,
30 Meibion [s] Accub, meibion Uta, meib-
ion [t] Cetab, meibion Agab, meibion [u] Su-
bai, meibion Anan, meibion [x] Cathua, meib-
ion [y] Gedur,
31 Meibion [z] Raia, meibion [a] Daisan,
meibion [b] Necoda, meibion Caseba, meib-
ion [c] Gazera, meibion [d] Azïas, meibion
[e] Phinehes, meibion Asara, meibion [f] Ba-
stai, meibion [g] Asana, meibion [h] Meunim,
meibion [i] Naphison, meibion [k] Accub, meib-
ion [l] Acupha, meibion [m] Assur, meibion
Pharacim, meibion [n] Basaloth,
32 Meibion [o] Mehida, meibion Coutha,
meibion [p] Carea, meibion [q] Barcus, meib-
ion [r] Aserar, meibion [s] Thomoi, meibion
[t] Nasith, meibion Atipha.
33 Meibion gweision Salomon: meibion
[u] Sophereth, meibion [x] Pharada, meibion
[y] Joeli, meibion [z] Lozon, meibion [a] Isdael;
meibion [b] Sapheth.
34 Meibion [c] Agïa, meibion [d] Phacareth,
meibion Sabie, meibion Sarophie, meibion
Masias, meibion Gar, meibion Adus, meib-
ion Subah, meibion Apherra, meibion Ba-
rodis, meibion Sabat, meibion Alom.
35 Holl weinidogion y Deml, a meibion
gweision Salomon oedd dri chant, a deuddeg
a thrugain.
36 Y rhai hyn a ddaethant i fynu o
Thelmeleth, a Thelharsa: Caralathar, ac
Alar, yn eu harwain hwynt.
37 Ac ni fedrent hwy ddangos eu teulu-
oedd, na'u bonedd, pa fodd yr oeddynt o
Israel: meibion [e] Dalaias, meibion [f] Tobïa,
meibion [g] Necodan, chwe chant *a* deuddeg
*a* deugain.
38 Ac o'r Offeiriaid y rhai oedd yn offeir-
iadu, ac heb eu cael, meibion [h] Hobaia,
meibion [i] Accoz, meibion [k] Adus, yr hwn a

† Ezra 2. 1.
[a] Sef, *Zorobabel.*
[b] Neu, *Seraiah.*
[c] Neu, *Mispar.*
[d] Neu, *Reelaiah.*
[e] Neu, *Pares.* Ezra 2. 3. Neh. 7. 8.
[f] Neu, *Sephatïah.*
[g] Neu, *tri chant, &c.*
[h] *Zattu.*
[i] Neu, *Zaccai.*
[k] *Sadas.*
[l] Neu, *Bigui.*
[m] Neu, *Ater hezecias.*
[n] Neu, *Besai.*
[o] Neu, *Bethlehem.*
[p] Neu, *Asmafeth.*
[q] *Ciriathiarim.*

[r] Neu, *Rama.*
[s] Neu, *Gabah.*
[t] Neu, *Macalon.*
[u] Neu, *Betolius.*
[x] Neu, *Machbu.*
[y] Neu, *Lodhadid.*
[z] *Annaas.*
[a] *Jedaiah.*
[b] *Immar.*
[c] Neu, *Passuron.*
[d] Neu, *Carme.*
[e] Neu, *dau cant a dau ar bymtheg (medd rhai.)*
[f] Gwel Ezra 2. 40.
[g] *Shallum.*
[h] *Aer.*
[i] *Accub.*
[k] *Hatita.*
[l] *Sobai.*
[m] *Zich.*
[n] *Hazupha.*
[o] *Coros.*
[p] *Siaha.*
[q] *Padon.*
[r] *Graba.*
[s] *Acua.*
[t] *Hagah.*
[u] *Samlai.*
[x] *Gides.*
[y] Neu, *Gahar.*
[z] Neu, *Aurus.*
[a] *Rezin.*
[b] *Nocba.*
[c] *Gazam.*
[d] *Huzzu.*
[e] *Pascah.*
[f] *Besai.*
[g] *Asnah.*
[h] *Meani.*
[i] *Naphusim.*
[k] *Bacbuc.*
[l] *Hacupa.*
[m] *Harur.*
[n] *Bazluth.*
[o] *Meeda.*
[p] *Harsa.*
[q] *Charcus.*
[r] *Sisera.*
[s] *Thamai.*
[t] *Nesiah.*
[u] *Azaphion.*
[x] *Pharira.*
[y] *Jualah.*
[z] *Darcon.*
[a] *Giddel.*
[b] *Sephatiah.* [c] *Hattai.* [d] *Phocereth, Hazzebiam.* Ezra 2. 57. [e] *Ladan.* [f] *Ban.* [g] *Necodah.* [h] *Obdia.* [i] *Coz.* [k] Neu, *Barzelai.*

gymmerasai *iddo* yn wraig Augia, *un* o fer-
ched Berzelus,
39 Ac a alwyd ar ei enw ef: ac ysgrifen
y genedl hon a geisiwyd yn mysg yr achau,
ond ni's cafwyd, ac am hynny y gwahar-
ddwyd iddynt offeiriadu.
* Gwel Neh. 8. 9. a 10. 2. Pen. 2. 63. 40 Canys † Nehemias, ac Atharias, a
ddywedasant wrthynt na chaent hwy fod
yn gyfrannogion o'r pethau cyssegredig,
oni gyfodai Arch-offeiriad wedi ei wisgo
‡ Heb. *Urim a Thummim.* ag ‡ addysg a gwirionedd.
41 Felly hwynt oll o Israel o'r rhai oedd-
ynt ddeuddeng mlwydd a thros hynny,
oeddynt o gyfrif yn ddeugain mil, heb law
gweision a morwynion, dwy fil tri chant
a thri ugain.
§ Gwel Neh. 7. 66. 42 § Eu gweision a'u llaw-forwynion
*oeddynt* saith mil, tri chant, a saith a deu-
gain: a'r cantorion, a'r cantoresau, dau
cant, pump a deugain.
43 Pedwar cant, a phymtheg ar hugain
o gamelod, saith mil ac un ar bymtheg ar
hugain o feirch, dau cant a phump a deugain
* Ezra 2. 67. o fulod, * pum mil a phum cant, a phump ar
hugain o || anifeiliaid arferol â'r iau.
|| *asynnod.* 44 A *rhai* o'u llywiawdwŷr hwynt yn ol
eu teuluoedd, pan ddaethant i Deml Dduw
yn Jerusalem, a addunasant adeiladu y tŷ
yn ei le ei hun, yn ol eu gallu.
45 A rhoddi i drysor y gwaith fil o bun-
nau o aur, a phum mil o bunnau o arian, a
chant o wisgoedd Offeiriaid.
46 Felly yr Offeiriaid a'r Lefiaid a'r bobl
a drigasant yn Jerusalem, ac yn y wlad: a'r
cantorion, a'r porthorion, a holl Israel yn eu
pen-trefydd.
535. 47 Ond pan ddaeth y seithfed mis, pan
oedd pawb o feibion Israel ar yr eiddo ei
hun, hwy a ymgasglasant i gŷd o unfryd
† Neu, *o flaen porth y dwyrain.* mewn lle amlwg, † wrth y porth cyntaf,
yr hwn sydd tu a'r dwyrain.
48 Yna Jesus mab Josedec, a'i frodyr yr
Offeiriaid, a Zorobabel mab Salathiel a'i
frodyr, gan godi i fynu, a barottoisant allor
Duw Israel.
49 I offrymmu poeth-offrymmau arni, me-
‡ Neu, *a orchymmynwyd.* gis y ‡ mae yn 'sgrifenedig yn llyfr Moses
gwr Duw.
§ Neu, *attynt hwy.* 50 Ac yno yr ymgasglodd § yn eu herbyn
hwynt *rai* o holl genhedloedd y wlad:
ond hwynt-hwy a drefnasant yr allor yn
ei chyflê, am fod holl genhedloedd y wlad
yn elynion iddynt: a hwy a offrymmasant
ebyrth wrth yr amser, a phoeth-offrymmau
i'r Arglwydd fore a hwyr.
51 Hwy a gadwasant hefyd ŵyl y pebyll,
|| Lefit. 23. 34. fel y mae yn orchymynedig || yn y gyf-
raith; ac *a offrymmasant* ebyrth beunydd,
fel yr oedd yn ddyledus:
52 Ac wedi hynny yr offrymmau gwasta-
dol, ac offrymmau 'r Sabbothau, a'r newydd-
loerau a'r holl wyliau sanctaidd.
† Gr. *cyssegrasant.* 53 A'r rhai oll a'r a † wnaethent adduned
i Dduw, a ddechreuasant offrymmu aberthau
i Dduw, o'r dydd cyntaf o'r seithfed mis, er
nad adeiladasid etto Deml Dduw.
54 A hwy a roddasant i'r seiri maen, ac i'r
seiri pren, arian, a bwyd, a diod, yn llawen.
55 A *hwy a roddasant* geir i'r Sidoniaid,
ac i'r Tyriaid, i ddwyn cedr-wŷdd o Li-
banus, y rhai a gludid yn gludeiriau i borth-
ladd Joppe, fel y gorchymynasid iddynt gan
Cyrus frenhin y Persiaid.
56 Ac yn yr ail flwyddyn, ar yr ail mis
ar ol ei ddyfod i Deml Dduw yn Jerusalem,
y dechreuodd Zorobabel mab Salathiel, a
Jesus mab Josedec, a'u brodyr, a'r Offeiriaid,
a'r Lefiaid, a'r holl rai a'r a ddaethent i Je-
rusalem allan o gaethiwed *Babilon*:
57 A hwy a sylfaenasant dŷ Dduw ar y
dydd cyntaf o'r ail mis, yn yr ail flwyddyn
ar ol eu dychwelyd hwy i Judea a Jeru-
salem.
58 ‡ A hwy a osodasant y Lefiaid, *y rhai* ‡ Gwel Ezra 3. 9.
*oedd* dros ugeinmlwydd oed, ar waith yr
Arglwydd. A Jesus, a'i feibion, a'i frodyr,
a Chadmiel ei frawd, a meibion Madiabun,
gyd â meibion Joda fab Eliadun, a'u meib-
ion, a'u brodyr, i gŷd yn Lefiaid, o unfryd
a ddilynasant, gan wneuthur y gwaith yn
nhŷ Dduw: felly y gweithwŷr a adeilada-
sant Deml yr Arglwydd.
59 A'r Offeiriaid a safasant wedi eu gwisgo
yn eu gwisgoedd, ag *offer* cerdd, ac ag ud-
gyrn, a'r Lefiaid meibion Asaph â symbalau,
60 Yn canu, ac yn moliannu 'r Ar-
glwydd, fel yr ordeiniasai Dafydd brenhin
Israel.
61 A hwy a ganasant ganiadau yn llafar
er moliant i'r Arglwydd; o herwydd bod ei
drugaredd a'i ogoniant yn dragywydd yn
holl Israel.
62 § Yna 'r holl bobl a leisiasant mewn § Ezra 3. 12, 13.
udgyrn, ac a waeddasant â llef uchel, gan
gyd-foliannu'r Arglwydd, am godi i fynu
dŷ 'r Arglwydd.
63 [m] Rhai hefyd o'r Offeiriaid, a'r Lef- [m] Ezra 3. 12, 13.
iaid; a'r pennaethiaid, yr Henuriaid, y rhai
a welsent y tŷ cyntaf, a ddaethant *at* adeila-
daeth hwn, trwy wylofain a nâd fawr.
64 Llawer hefyd ag udgyrn, ac â llawen-
ydd mawr a waeddasant â llef uchel,
65 Fel na ellid clywed yr udgyrn gan || nâd || *waeddi.*
y bobl: etto yr oedd y dyrfa yn fawr, yn
lleisio mewn udgyrn, fel y clywid ym
mhell.
66 Am hynny, pan glybu gelynion llwyth
Judah a Benjamin hynny, hwy a ddaethant
i gael gwybod beth yr oedd sain yr udgyrn
*yn ei arwyddocâu.*
67 Yna y gwybuant mai y rhai a ddaethai
o'r caethiwed a adeiladent y Deml i Ar-
glwydd Dduw Israel.
68 Am hynny hwy a aethant at Zoroba-
bel, a Jesus, ac at bennaethiaid y teuluoedd,
gan ddywedyd wrthynt, Ni a adeiladwn gyd
â chwi hefyd.
69 Canys yr ydym ni yn ufuddhâu i'ch
Arglwydd chwi, fel yr ydych chwithau,
ac yn aberthu iddo ef, er dyddiau † Asba- † *Asar-*
zareth brenhin Assyria, yr hwn a'n dug ni *hadd-don.* Ezra 4. 2.
yma.
70 Yna Zorobabel, a Jesus, a phennaeth-
iaid teuluoedd Israel a ddywedasant wrth-
ynt, Ni pherthyn i chwi ac i ni gyd-adeiladu
tŷ i'r Arglwydd ein Duw ni.
71 Nyni ein hunain a adeiladwn i Ar-
glwydd Dduw Israel, fel y gorchymynodd
Cyrus brenhin Persia i ni.
72 Er hynny pobl y wlad yn pwyso yn
drwm ar y rhai oedd yn Judea, a rwystra-
sant iddynt adeiladu.
73 A thrwy eu cynllwyn, a therfysgoedd, 534.
a denu pobl, hwy a luddiasant orphen yr † *hyd yr ail*
adeiladaeth, tra fu brenhin Cyrus yn fyw; *flwyddyn i*
felly y rhwystrwyd hwynt rhag adeiladu *Darius.*
dros ysbaid † dwy flynedd, hyd deyrnasiad Ezra 4. 5, 6, 7.
Darius.

PEN. VI.

*1 Y prophwydi yn annog y bobl i adeiladu 'r Deml: 8 A rhai yn ceisio gan Darius lestair ei hadeiladu: 27 Ac yntau yn gwneu-*

*thur ei orau ar beri ei haileiladu hi;* 32 *ac*
*yn bygwth y rhai a'i rhwystrai.*

520. AC yn yr ail flwyddyn o deyrnasiad Darius, Aggëus a Zacharïas mab Ido, y prophwydi, a brophwydasant i'r Iuddewon, yn Judea, a Jerusalem, yn enw Arglwydd Dduw Israel, yr hwn oedd arnynt.

2 Yna Zorobabel mab Salathiel, a Jesus mab Josedec a safasant i fynu, ac a ddechreuasant adeiladu tŷ'r Arglwydd, yn Jerusalem: prophwydi'r Arglwydd oedd gyd â hwynt, *ac* yn eu cynnorthwyo.

* Ezra 5. 3. 3 * Yn y cyfamser hwnnw † Sisinnes llywiawdr Syria a Phenice, a ‡ Sathrabuzanes a'i gyfeillion, a ddaethant attynt hwy, ac a ddywedasant wrthynt,

† Neu, *Tatnai.*
‡ Neu, *Sethar-boznai.*

4 Trwy orchymyn pwy 'r ydych chwi 'n adeiladu'r tŷ hwn, a'r adeilad yma, ac yn gwneuthur yr holl bethau eraill? a phwy yw'r gweithwŷr sydd yn gwneuthur y pethau hyn?

5 Etto Henuriaid yr Iuddewon a gawsent ffafr: gan i'r Arglwydd ymweled â'r caethiwed.

6 Ac ni rwystrwyd hwynt i adeiladu, nes hysbysu i Ddarïus y pethau hyn, a chael atteb *oddi wrtho ef.*

7 ¶ Copi'r llythyrau a 'sgrifenodd, ac a anfonodd Sisinnes llywiawdr Syria a Phenice, a Sathrabuzanes, a'u cyfeillion, rheolwŷr yn Syria a Phenice, at Ddarïus; Annerch i frenhin Darïus.

519. 8 Bydded y cwbl yn hysbys i'n harglwydd frenhin, pan ddaethom ni i wlad Judea, a myned i mewn i ddinas Jerusalem, ni a gawsom yn ninas Jerusalem Henuriaid yr Iuddewon y rhai oedd o'r gaeth-glud,

9 Yn adeiladu tŷ'r Arglwydd, mawr a newydd, o gerrig nadd a gwerthfawr, a'r coed wedi eu gosod eusus ar y magwyrydd.

10 Ac yr ydys yn gwneuthur y gwaith hwn ar frys, ac y mae'r gwaith yn myned rhagddo yn llwyddiannus yn eu dwylaw hwynt, ac â phob gogoniant a diwydrwydd y gweithir ef.

11 Yna ni a ofynnasom i'r Henuriaid hyn, gan ddywedyd, Trwy orchymyn pwy yr ydych chwi yn adeiladu'r tŷ hwn, ac yn sylfaenu'r gwaith yma?

12 Am hynny fel yr hysbysem i ti mewn ysgrifen, nyni a ofynnasom iddynt, pwy oedd y gweithwyr pennaf, ac a geisiasom ganddynt enwau eu gwŷr pennaf yn 'sgrifenedig.

13 Ond hwy a'n hattebasant ni, Gweision ydym ni i'r Arglwydd, yr hwn a greodd y nefoedd a'r ddaear.

14 Ac am y tŷ hwn, efe a adeiladwyd er ys llawer o flynyddoedd gan frenhin o Israel, mawr a chadarn, ac a orphennwyd.

15 Ond pan annogodd ein tadau ni Dduw i ddigllonedd, *a phan* bechasant yn erbyn Arglwydd Israel, *yr hwn sydd* yn y nefoedd, efe a'u rhoddes hwynt yn nwylaw Nabuchodonosor brenhin Babilon y Caldeaid,

16 Y rhai a dynnasant y tŷ i lawr, ac a'i llosgasant ef, ac a gaeth-gludasant y bobl i Babilon.

536. 17 Ond yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Cyrus ar wlad Babilon, y Brenhin Cyrus a 'sgrifenodd am adeiladu'r tŷ hwn.

18 A'r llestri sanctaidd o aur ac o arian, y rhai a ddygasai Nabuchodonosor allan o'r tŷ yn Jerusalem, ac a'u gosodasai yn ei Deml ei hun, Cyrus y brenhin a'u dug hwynt drachefn allan o'r Deml yn Babilon, ac a'u rhoddodd hwynt i § Zorobabel, ac i Sanabassarus y llywiawdr;

§ Neu, *Zorobabel yr hwn yw Sanabassarus y llywiawdr,* Ezra 1. 8.

19 Gan orchymyn iddo ef ddwyn ymaith y llestri hynny, a'u gosod hwynt o fewn y Deml yn Jerusalem, ac adeiladu Teml yr Arglwydd yn ei chyfle.

20 A phan ddaeth Sanabassarus hwnnw yma, efe a sylfaenodd dŷ'r Arglwydd yn Jerusalem, ac er y pryd hynny hyd yr awr hon, yr ydys yn ei adeiladu, ac ni's gorphennwyd ef etto.

21 Ac yn awr, o rhynga bodd i'r brenhin, chwilier yn mysg cof-lyfrau brenhin Cyrus:

22 Ac o cheir bod adeiladaeth tŷ'r Arglwydd yn Jerusalem, wedi ei gwneuthur trwy gyttundeb brenhin Cyrus, ac os rhynga bodd i'r arglwydd ein brenhin, hysbysed i ni am y peth hyn.

23 ¶ Yna y brenhin Darïus a orchymynodd chwilio ym mysg y cof-lyfrau yn Babilon, ac fe a gafwyd yn Ecbatana, y llys sydd yngwlâd Media, fan lle yr oedd y pethau hyn yn 'sgrifenedig.

24 Yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Cyrus, y brenhin Cyrus a orchymynodd adeiladu tŷ'r Arglwydd yn Jerusalem, lle yr aberthant â thân gwastadol.

25 Uchder yr hwn fydd drugain cufydd, a'i led yn drugain cufydd, â thair rhes o gerrig nadd, ac un rhes o goed newydd o'r wlad honno, a'r draul a roddir o dŷ brenhin Cyrus.

26 A'r llestri sanctaidd o dŷ'r Arglwydd, yn aur ac yn arian, y rhai a gymmerth Nabuchodonosor ymaith o'r tŷ yn Jerusalem, ac a'u dug i Babilon, a roddid drachefn i'r tŷ yn Jerusalem, ac a osodid yn y fan lle'r oeddynt.

27 Hefyd efe a orchymynodd i Sisinnes llywiawdr Syria a Phenice, ac i Sathrabuzanes a'u cyfeillion, ac i'r rhai oedd wedi eu gosod yn llywodraethwŷr yn Syria a Phenice, wylied nad ymmyrrent â'r fan honno, eithr gadael i Zorobabel gwas yr Arglwydd, a llywydd Judea, ac i henuriaid yr Iuddewon, adeiladu tŷ'r Arglwydd yn y fan honno.

28 Myfi a orchymynais hefyd ei adeiladu ef yn gyfan eilwaith, ac iddynt hwy fod yn astud i gynnorthwyo'r rhai oedd o gaeth-glud yr Iuddewon, nes gorphen tŷ'r Arglwydd:

29 A rhoddi dogn allan o deyrn-ged Coelosyria a Phenice, yn ddyfal, i'r gwŷr hyn tu ag at ebyrth i'r Arglwydd, ac i Zorobabel y llywydd, tu ag at fustych, a hyrddod, ac ŵyn;

30 Yd hefyd, halen, gwin, ac olew; a hynny yn wastadol bob blwyddyn heb ymofyn ym mhellach, fel y tystiolaetho'r Offeiriaid sydd yn Jerusalem, fod yn ei dreulio beunydd;

31 Fel yr offrymmont beunydd i Dduw goruchaf dros y brenhin, a thros ei blant, ac y gweddïont gyd â'u heinioes hwynt.

32 Efe a orchymynodd hefyd am hwy bynnag a droseddai ddim a'r a ddywedpwyd, neu a'r a 'sgrifenwyd uchod, neu a ddirmygai ddim o hynny, gymmeryd pren allan o'i dŷ ef ei hun, a'i grogi ef arno, a bod ei gyfoeth ef yn eiddo'r brenhin.

33 Am hynny'r Arglwydd, yr hwn yr ydys yn galw ar ei enw yno, a ddistrywio bob brenhin a chenedl a'r a estynno ei law i luddias, neu i wneuthur niweid i dŷ'r Arglwydd, yr hwn sydd yn Jerusalem.

34 Myfi y brenhin Darïus a orchymynais wneuthur yn ddiwyd yn y pethau hyn.

## PEN. VII.

*1 Sisinnes ac eraill yn gyrru'r adeilad ym mlaen. 5 Gorphen y Deml, a'i chyssegru. 10 Cadw'r Pasg.*

* Ezra 6. 13. YNA * Sisinnes llywydd Coelosyria a Phenice, a Sathrabuzanes a'u cyfeillion, yn canlyn gorchymynion brenhin Darius,

2 Yn ddyfal iawn a olygasant ar y gwaith sanctaidd, gan gynnorthwyo Henuriaid yr Iuddewon, a llywodraethwyr y Deml.

3 Ac felly y gwaith sanctaidd a lwyddodd, pan ydoedd Aggëus a Zacharïas y prophwydi yn prophwydo.

4 Felly hwy a orphennasant y pethau hyn trwy orchymyn Arglwydd Dduw Israel, ac o gyttundeb Cyrus a Darïus, ac Artaxerxes, brenhinoedd Persia.

5 Ac fel hyn y gorphenwyd y tŷ sanctaidd ar y † trydydd ar hugain o'r mis Adar, yn y chweched flwyddyn i Ddarïus frenhin y Persiaid.
† Heb. trydydd arugaint. Ezra 6. 15.

6 A phlant Israel, a'r Offeiriaid, a'r Lefiaid, ac eraill o'r gaeth-glud a 'chwanegwyd attynt, a wnaethant yn ol yr hyn sydd 'sgrifenedig yn llyfr Moses.

7 Ac i gyssegru Teml yr Arglwydd, hwy a offrymmasant gant o fustych, deucant o hyrddod, pedwar cant o ŵyn;

8 A deuddeg gafr dros bechod holl Israel, yn ol rhifedi ‡ pennaethiaid llwythau Israel.
‡ Neu, llwythau.

9 Ar Offeiriaid a'r Lefiaid a safasant wedi ymwisgo yn eu gwisgoedd yn ol eu § teuluoedd, yngwasanaeth Arglwydd Dduw Israel, yn ol llyfr Moses; a'r porthorion hefyd wrth bob porth.
§ Heb. dosparthiadau. Ezra 6. 18.

10 A phlant Israel gyd â'r rhai a ddaethent allan o'r caethiwed, a gynhaliasant y Pasg y pedwerydd dydd a'r ddeg o'r mis cyntaf, wedi i'r Offeiriaid a'r Lefiaid ymsancteiddio.

11 Ni sancteiddiasid holl feibion y gaethiwed ynghŷd, eithr y Lefiaid a gyd-sancteiddiasid oll.

12 Felly hwy a offrymmasant y Pasg dros holl feibion y gaeth-glud, a thros eu brodyr yr Offeiriaid, a throstynt eu hunain.

13 Yna holl blant Israel y rhai a ddaethent o'r caethiwed a fwytasant, sef y rhai oll a'r a ymneilldueasent oddi wrth ffieidddra pobl y wlad, ac a geisiasant yr Arglwydd.

14 A hwy a gadwasant wyl y bara croyw saith niwrnod, gan lawenychu ger bron yr Arglwydd.

15 O herwydd iddo ef droi ‖ cyngor brenhin Assyria tu ag attynt hwy, i nerthu eu dwylaw hwynt yngwâith Arglwydd Dduw Israel.
‖ meddwl.

## PEN. VIII.

*1 Esdras yn dwyn gorchymyn y Brenhin i adeiladu. 8 Copi o'r gorchymyn. 28 Y mae'n dangos enwau a rhifedi y rhai a ddaethai gyd ag ef: 60 a'i daith: 71 yn gofidio am bechodau'r bobl; 26 ac yn tyngu 'r Offeiriaid i yrru ymaith eu gwragedd dieithr.*

457. AC wedi'r pethau hyn, pan oedd Artaxerxes brenhin y Persiaid yn teyrnasu, y daeth Esdras mab Saraias, fab † Ezerïas, fab Helcïas, fab Salum,
† Azarïas.

2 Fab Saduc, fab Achitob, fab Amarïas, fab ‡ Ozïas, fab § Memeroth, fab Zaraias, fab ‖ Sanïas, fab Boccas, fab Abisum, fab Phinehes, fab Eleazar, fab Aaron yr offeiriad † pennaf.
‡ Azarïas. § Meraioth. ‖ Uzzi. † Heb. oedd gyntaf. Ezra 7. 5.

3 Yr Esdras hwn a aeth i fynu o Babilon, fel 'sgrifenydd parod iawn ynghyfraith Moses yr hon a roddasid trwy Dduw Israel.

4 Y brenhin hefyd a roddodd iddo ef anrhydedd: canys efe a gafodd ffafr ger ei fron ef, yn ei holl ddymuniadau.

5 Gyd ag ef hefyd yr aeth i fynu rai o blant Israel, o'r Offeiriaid, o'r Lefiaid, o'r cantorion sanctaidd, ac o'r porthorion, a ‡ gweinidogion y Deml, i Jerusalem,
‡ Nethinimiaid.

6 § Yn y seithfed flwyddyn o deyrnasiad Artaxerxes, ar y pummed mis (hon ydoedd y seithfed flwyddyn i'r brenhin) canys hwy a aethant o Babilon y dydd cyntaf o'r mis cyntaf, ac a ddaethant i Jerusalem, fel y rhoddodd yr Arglwydd rwydd-deb iddynt yn eu taith.
§ Gwel Ezra 7. 7, 8, 9.

7 O herwydd yr oedd gan Esdras gyfarwyddyd mawr, fel na adawodd efe heibio ddim o gyfraith, a gorchymynion yr Arglwydd, ond efe a ddysgodd i holl Israel y deddfau a'r barnedigaethau.

8 Felly copi'r gorchymyn a 'sgrifenwyd oddi wrth Artaxerxes y brenhin, ac a ddaeth at Esdras yr Offeiriad a darllenydd cyfraith yr Arglwydd, yw hwn sydd yn canlyn.

9 Y brenhin Artaxerxes, at Esdras yr Offeiriad a darllenydd cyfraith yr Arglwydd, yn anfon annerch.

10 Yn gymmaint a'm bod i'n bwriadu gwneuthur yn raslawn, myfi a orchymynais i'r neb a fynnent, ac a ewyllysient o genedl yr Iuddewon, ac o'r Offeiriaid, ac o'r Lefiaid, y rhai sydd yn ein brenhiniaeth ni, gael myned gyd â thi i Jerusalem.

11 Am hynny cynnifer ag a ewyllysiant hynny, ymadawant gyd â thi, fel y gwelwyd yn dda gennyfi, a'm saith gyfaill, y cynghorwŷr;

12 Fel yr edrychont ar y pethau sydd yn Judea a Jerusalem yn gytûn, a'r hyn sydd ynghyfraith yr Arglwydd;

13 Ac y dygont i Arglwydd Israel i Jerusalem y rhoddion a addunais i, mi a'm cyfeillion, a'r holl aur, a'r arian a gaffer yngwlâd Babilon, i'r Arglwydd yn Jerusalem.

14 Gyd a'r hyn a roddodd y bobl hefyd i Deml yr Arglwydd eu Duw yn Jerusalem: ac y casgler arian, ac aur, tu ag at fustych, a hyrddod, ac ŵyn, a phethau yn perthynu at hynny;

15 Fel yr offrymmont ebyrth i'r Arglwydd ar allor yr Arglwydd eu Duw, yr hon sydd yn Jerusalem.

16 A pha beth bynnag a'r a ewyllysiech di a'th frodyr ‖ â'r arian ac â'r aur, gwna hynny yn ol ewyllys dy Dduw.
‖ Ezra 7. 18.

17 A'r llestri sanctaidd, y rhai a roddwyd i ti tu ag at gyfraid Teml dy Dduw, yr hon sydd yn Jerusalem, tydi a'u gosodi hwynt ger bron dy Dduw yn Jerusalem.

18 A pha beth bynnag arall a'r a feddyliech di tu ag at gyfraid Teml dy Dduw, ti a'i rhoddi ef allan o drysor y brenhin.

19 A myfi brenhin Artaxerxes a orchymynais i drysorwŷr Syria a Phenice, am iddynt hwy roddi yn rhwydd i Esdras yr Offeiriad a darllenydd cyfraith y Duw Goruchaf, beth bynnag a'r a anfono efe am dano,

20 Hyd gan talent o arian; a hefyd hyd gan † corus o ŷd, a chan tunnell o win, a phethau eraill yn ddïandlawd.
† Mesur. Ezra 7. 22.

21 Gwneler pob peth i'r Goruchaf Dduw yn ddyfal, yn ol cyfraith Duw, fel na ddelo digofaint ar frenhiniaeth y brenhin a'i feibion.

22 Hefyd yr ydwyf yn gorchymyn i
chwi, na cheisioch na theyrn-ged, na threth
gan yr Offeiriaid, na'r Lefiaid, na'r cantor-
ion sanctaidd, na'r porthorion, na gweini-
dogion y Deml, nac oddi ar weithwŷr y
Deml hon, ac na byddo awdurdod i neb i
drethu dim arnynt hwy.
23 A thithau Esdras, yn ol doethineb Duw,
gosod farnwyr a llywiawdwŷr, fel y barnont
trwy holl Syria a Phenice, † y rhai oll sydd
ddysgedig ynghyfraith dy Dduw, a'u rhai
annysgedig ynddi a ddysgi di:
24 [a] A chosper yn ddyfal y rhai oll a'r
a droseddant gyfraith dy Dduw a'r brenhin,
pa un bynnag a'i trwy farwolaeth, ai rhyw
gospedigaeth arall, trwy ddirwy o arian, neu
garchar.
25 ¶ Yna Esdras yr ysgrifenydd a ddy-
wedodd, Bendigedig fyddo unig Arglwydd
Dduw fy nhadau, yr hwn a roddodd y
meddwl yma ynghalon y brenhin, i ogo-
neddu ei dŷ ef, yr hwn sydd yn Jeru-
salem,
26 Ac a'm hanrhydeddodd i yngolwg y
brenhin a'i gynghoriaid, a'i holl gyfeillion
ef, a'r pendefigion.
27 Am hynny yr oeddwn i yn gysurus
trwy gynhorthwy'r Arglwydd fy Nuw, ac
a gesglais wŷr o Israel, i fyned i fynu gyd
â mi.
28 A dyma'r blaenoriaid, yn ol eu teu-
luoedd a'u rhagor-fraint, y rhai a aethant
i fynu gyd â mi o Babilon yn nheyrnasiad
brenhin Artaxerxes.
29 O feibion Phinehes, Gerson; o feib-
ion Ithamar, ‡ Gamael; o feibion Dafydd,
§ Lettus [b] mab Sechaniah:
30 O feibion Pharez, Zacharïas; a chyd ag
ef y cyfrifwyd cannwr a deg a deugain:
31 O feibion Pahath-Moab, Eliaonias mab
[c] Zacaias; a chyd ag ef ddeucant o wŷr:
32 O feibion [d] Zatho, Sechenias mab Je-
zelus; a chyd ag ef dri chant o wŷr: o feib-
ion Adin, Obeth mab Jonathan; a chyd ag
ef [e] ddeucant a deg a deugain o wŷr:
33 O feibion Elam, Josias mab [f] Gotho-
lïas; a chyd ag ef ddengwr a thrugain;
34 O feibion Saphatïas, [g] Zaraias mab
Michael; a chyd ag ef [h] ddengwr a thru-
gain:
35 O feibion Joab, [i] Abadïas mab [k] Je-
zelus; a chyd ag ef [l] ddeuddengwr a dau
cant:
36 O feibion Banid, [m] Assalimoth mab Jo-
saphias; a chyd ag ef drugeinwr a chant:
37 O feibion Babi, Zacharïas mab Bebai;
a chyd ag ef wythwŷr ar hugain;
38 O feibion [n] Astath, Johannes *mab*
[o] Acatan; a chyd ag ef ddengwr a chant:
39 O feibion Adonicam, y diweddaf; a
dyma eu henwau hwynt, Eliphalet, Jeuel,
a [p] Samaias; a chyd â hwynt ‖ ddengwr a
thrugain.
40 O feibion Bago, Uthi fab Istalcurus; a
chyd ag ef ddengwr a thri ugain.
41 Ac mi a gesglais y rhai hyn ynghŷd,
wrth yr afon a elwir Theras, lle y gwer-
syllasom dri diwrnod: ac mi a fwriais olwg
arnynt.
42 Ond pan na chefais yno'r un o'r Offei-
riaid, na'r Lefiaid;
43 Yna mi a anfonais at Eleazar, ac
[q] Idual, a [r] Masman,
44 Ac Alnathan, a Mamaias, a † Joribas,
a Nathan, Ennathan, Zacharïas, a Moso-
lamon, penaethiaid a gwŷr dysgedig.

† Gwel Ezra 7. 15.
[a] Ezra 7. 26.
‡ Daniel.
§ Chattus.
[b] Ezra 8. 3.
O feibion Zechariah, o feibion Pares.
[c] Zerachiah.
[d] Neu, o feibion Zechaniah, mab Jahaziel.
[e] Heb. 50.
[f] Athaliah.
[g] Neu, Zebadiah.
[h] Neu, pedwar-ugeinwr.
[i] Obadiah.
[k] Jehiel.
[l] Neu, ddeunaw o wŷr.
[m] Neu, o feibion Shelomith mab, &c.
[n] Azgad.
[o] Catan.
[p] Semaiah.
‖ Neu, dri-ugeinwr.
[q] Ariel.
[r] Semaiah.
† Jarib.

45 Ac mi a erchais iddynt fyned at Sadeus
y pennaeth, yr hwn oedd yn y drysorfa;
46 Ac a orchymynais iddynt ddywedyd
wrth ‡ Ddadeus, ac wrth ei frodyr, a'r try-
sorwŷr oedd yno, anfon i mi rai i offeiriadu
yn nhŷ'r Arglwydd.
47 A hwy a ddygasant i ni trwy law
nerthol yr Arglwydd, wŷr dysgedig o feib-
ion [s] Moli mab Lefi fab Israel, [t] Asebebia
a'i feibion, a'i frodyr, y rhai oedd dri ar
bymtheg:
48 Ac Asebïa, ac Annuus, ac Osaias ei
frawd, o feibion Channuneus, a'u meibion
hwy oedd ugeinwr.
49 Ac o weision y Deml, y rhai a ordein-
iasai Dafydd, a'r gwŷr pennaf, i wasanaeth
y Lefiaid, *sef* gweision y Deml, ugain, a
dau cant o rifedi, enwau y rhai a ddan-
goswyd.
50 Ac yna mi a gyhoeddais ympryd i'r
gwŷr ieuaingc ger bron ein Harglwydd, i
ddeisyf ganddo ef daith lwyddiannus i ni
ac i'r rhai oedd gyd â ni, i'n plant, ac i'r
anifeiliaid.
51 Canys yr oedd yn gywilydd gennyf
ofyn i'r brenhin wŷr traed, a gwŷr meirch,
a rhai i'n tywyso yn ddiogel yn erbyn ein
gwrthwynebwŷr.
52 O herwydd ni a ddywedasom wrth y
brenhin y byddai nerth yr Arglwydd ein
Duw ni gyd â'r neb a'i ceisient ef, i'w
cynnal hwynt ym mhob ffordd.
53 A ni a weddiasom ar ein Harglwydd
eilwaith, o herwydd y pethau hyn: ac ni a'i
cawsom ef yn raslawn i ni.
54 Yna myfi a neillduais o'r rhai pennaf
o'r offeiriaid ddeuddengwr, [u] Esebrias, ac
Asanïas, a deg o'u brodyr gyd â hwynt.
55 Ac mi a bwysais iddynt hwy yr aur,
a'r arian, a llestri sanctaidd tŷ'r Arglwydd,
y rhai a roddasai'r brenhin, a'i gynghor-
iaid, a'r tywysogion, a holl Israel.
56 Ac mi a bwysais ac a roddais iddynt
chwe chant a deg a deugain o dalentau
arian, a llestri arian o gan talent, a chan ta-
lent o aur.
57 Ac ugain o lestri aur, a [x] deuddeg o
lestri pres, o bres gloyw yn disgleirio fel aur.
58 Ac mi a ddywedais wrthynt, Yr
ydych chwi yn sanctaidd i'r Arglwydd, a'r
llestri hefyd ydynt sanctaidd, a'r aur, a'r
arian sydd yn adduned i'r Arglwydd, Ar-
glwydd ein tadau.
59 Gwyliwch, a chedwch hwynt hyd oni
roddoch hwynt i bennaethiaid yr offeiriaid,
a'r Lefiaid, a thywysogion teuluoedd Israel
yn Jerusalem, o fewn 'stafelloedd tŷ ein
Duw ni.
60 Felly'r offeiriaid a'r Lefiaid, y rhai
a dderbyniasant yr arian, a'r aur, a'r llestri,
a'u dygasant hwy i Jerusalem, i Deml yr
Arglwydd.
61 Ac ni a ymdawsom oddi wrth afon
Theras y deuddegfed *dydd* o'r mis cyntaf,
ac a ddaethom i Jerusalem trwy nerthol
law ein Harglwydd, yr hon oedd gyd â ni:
a'r Arglwydd a'n gwaredodd ni o ddechrau
[y] ein taith rhag ein gelynion; ac
felly ni a ddaethom i Jerusalem.
62 Ac wedi ein bod ni yno dridiau, ar y
pedwerydd dydd y rhoddwyd yr arian
pwysedig, a'r aur, yn nhŷ ein Harglwydd
ni, i [z] Marmoth yr offeiriad, mab Iri;
63 A chyd ag ef yr oedd Eleazar *mab*
Phinehes; a chyd â hwynt yr oedd Josabad
*mab* Jesu, a [a] Moeth *mab* Sabban, y Lefiaid:

‡ Gr. Lodcus.
[s] Serebïa, Ezra 8. 18.
[t] Neu, hefyd Hasabiah, a chyd ag ef Jesaiah, o feibion Merari, a'i frodyr, Ezra 8. 19.
[u] Serebïas a Hassebias.
[x] Heb. dau lestr. Ezra 8. 27.
[y] peryglon ar y ffordd.
[z] Merimoth mab Uriah yr offeiriad.
[a] Noadah fab Bennui.

y cwbl *a roddwyd iddynt* dan rifedi a phwys.

64 A'u holl bwys hwynt a 'sgrifenwyd yr awr honno.

65 Hefyd y rhai a ddaethent o'r gaeth-glud a offrymmasant ebyrth i Arglwydd Dduw Israel, *sef* deuddeg o fustych dros holl Israel, un ar bymtheg a phedwar ugain o hyrddod,

a Heb. 77 *o ŵyn, 12 bwch yn aberth dros bechod,* Ezra 8. 31.

66 b Deuddeg a thrugain o ŵyn, deuddeg o eifr yn aberth hedd; y cwbl yn aberth i'r Arglwydd.

67 A hwy a roddasant orchymyn y brenhin i ddistain y brenhin, ac i lywiawdwŷr Coelosyria a Phenice, y rhai a anrhydeddasant y bobl, a Theml Dduw.

68 ¶ Wedi gwneuthur y pethau hyn, y llywiawdwŷr a ddaethant attaf fi, gan ddywedyd,

69 Cenedl Israel, y tywysogion, a'r Offeiriaid, a'r Lefiaid, ni fwriasant ymaith *oddi wrthynt* bobl ddïeithr y wlad, nac aflendid y cenhedloedd, *sef* y Canaaneaid, yr Hethiaid, y Phereziaid, y Jebusiaid, a'r Moabiaid, yr Aiphtiaid, a'r Edomiaid.

c Ezra 9. 2.

70 c Canys hwy a brïodasant eu merched hwy, hwynt-hwy a'u meibion, a'r had sanctaidd a gymmysgwyd â phobl ddïeithr y wlad; a'r llywiawdwŷr a'r pennaethiaid a fuant gyfrannogion o'r anwiredd yma, er dechreuad y peth.

71 A phan glywais y pethau hyn, mi a rwygais fy nillad, ar wisg sanctaidd, ac a dynnais flew fy mhen, a'm barf, ac a eisteddais i lawr yn drwm, ac yn drist.

72 Yna y rhai oll oeddynt wedi eu cynhyrfu trwy air Arglwydd Dduw Israel, a ddaethant attaf fi, tra 'r oeddwn i yn wylo am yr anwiredd: ond myfi a eisteddais yn drist iawn hyd y prydnhawnol aberth.

73 Yna myfi a gyfodais o ymprydio, a'm dillad a'r wisg sanctaidd wedi eu rhwygo, ac a benlinais, ac a estynnais *fy* nwylaw at yr Arglwydd,

74 Ac a ddywedais, O Arglwydd, gwaradwyddus a chywilyddus ydwyf ger dy fron di.

75 Canys ein pechodau ni a amlhasant dros ein pennau ni, a'n hamryfusedd ni a gyrhaeddodd hyd y nef.

76 Canys er amser ein tadau, ni a fuom ac ydym mewn pechod mawr, hyd y dydd hwn.

77 Ac am ein pechodau ni a'n tadau, nyni a'n brodyr, a'n brenhinoedd, a'n hoffeiriaid, a roddwyd i fynu i frenhinoedd y ddaear, i'r cleddyf, ac i gaethiwed, ac yn ysglyfaeth trwy gywilydd, hyd y dydd hwn.

78 Ac yn awr y dangoswyd peth trugaredd i ni gennyt ti, O Arglwydd, fel y gadewid i ni wreiddyn, ac enw yn dy gyssegrfa;

† Heb. *fwyd.* Ezra 9. 8.

79 Ac i ddatguddio goleuni i ni yn nhŷ 'r Arglwydd ein Duw, ac i roddi i ni † fwyd yn amser ein caethiwed.

80 Ie pan oeddem ni mewn caethiwed, ni wrthododd ein Harglwydd mo honom ni; eithr efe a'n gwnaeth ni yn gymmeradwy ger bron brenhinoedd Persia, fel y rhoddasant hwy fwyd i ni;

81 Ac yr anrhydeddasant Deml ein Harglwydd ni, ac y cyweiriasant anrheithiol leoedd Sïon, ac y rhoddasant i ni drigfa sicr yn Judea ac yn Jerusalem.

82 Ac yn awr, O Arglwydd, beth a ddywedwn ni sy'n cael y pethau hyn? canys nyni a droseddasom dy orchymynion di, y rhai a roddaist ti *i ni* trwy law dy weision y prophwydi, gan ddywedyd,

83 Fod y wlad, yr hon yr ydych chwi yn myned i'w hetifeddu, yn halogedig trwy aflendid dïeithriaid y wlad, y rhai a'i llanwasant hi â'u haflendid.

84 Am hynny yn awr na chyssylltwch eich merched â'u meibion hwynt, ac na chymmerwch eu merched hwy i'ch meibion chwithau.

85 Ac na cheisiwch heddychu â hwynt byth, fel y'ch gwneler yn gryfion, ac y caffoch chwi fwytta daioni 'r wlad, a'i gadel hi i'ch meibion ar eich ol chwi yn etifeddiaeth.

86 Yr hyn oll hefyd a'r a ddaeth i ben, a wnaed i ni oblegid ein drwg weithredoedd ni, a'n pechodau mawrion: canys tydi, Arglwydd, a ysgafnheaist ein pechodau ni.

87 Ac a roddaist i ni y cyfryw wreiddyn: *ond* nyni a droisom yn ein hol, gan dorri dy gyfraith di, *ac* a ymgymmysgasom ag aflendid pobl y wlad.

88 ‡ Oni ddylit ti fod yn ddigllon wrthym ni, i'n dinystrio ni, fel na adewit i ni na gwreiddyn, na had, nac enw? ‡ Neu. *Na fydd di ddigllon.*

89 Tydi, O Arglwydd Israel, ydwyt eirwir: canys gadawyd i ni wreiddyn y dydd heddyw.

90 Ac yn awr wele ni ger dy fron di yn ein pechodau; canys ni allwn ni sefyll o'th flaen di yn hŷ, o herwydd y pethau hyn.

91 A phan oedd Esdras yn gweddïo, ac yn cyffesu, ac yn wylo, ac yn gorwedd ar y llawr o flaen y Deml, yna tyrfa fawr a ymgasglasant atto ef o Jerusalem, o wŷr, a gwragedd, a phlant: canys yr oedd galar mawr ym mysg y dyrfa.

92 Yna Jechonïas mab Jeelus, un o feibion Israel a waeddodd, ac a ddywedodd, O Esdras, nyni a bechasom yn erbyn yr Arglwydd Dduw, *o achos* i ni brïodi gwragedd dïeithr o genhedloedd y wlad, ac yn awr § holl Israel a ddyrchafwyd. § Deut. 28. 13. Baruch 2. 5.

93 Tyngwn lw i'r Arglwydd, ar yrru ymaith ein holl wragedd sydd o'r cenhedloedd, ynghŷd â'u plant:

94 Fel yr ordeiniaist ti, a'r holl rai sydd yn ufuddhâu cyfraith yr Arglwydd.

95 Cyfod i fynu a gwna hyn: canys i ti y perthyn hyn, a ni a fyddwn gyd â thi: gwna yn ŵrol.

96 Yna Esdras a gyfododd, ac a wnaeth i holl bennaethiaid yr Offeiriaid a'r Lefiaid || a holl Israel, dyngu y gwnaent hwy felly: a hwy a dyngasant. || Ezra 10. 5.

## PEN. IX.

1 *Esdras yn casglu'r holl bobl ynghŷd:* 10 *a hwythau yn gyrru ymaith y gwragedd dïeithr.* 20 *Enwau a rhifedi y rhai a wnaeth hynny.* 40 *Darllen cyfraith Moses ger bron yr holl bobl:* 44 *A hwythau yn wylo, ac yn cael dwyn ar gof iddynt yr uchel-ŵyl.*

YNA Esdras a gyfododd o gyntedd y Deml, *ac* a aeth i 'stafell Joanan mab Elïasib;

2 Ac a arhosodd yno, ac ni fwyttaodd fwyd, ac nid yfodd ddwfr, eithr wylodd dros anwireddau mawrion y dyrfa.

3 Ac fe a gyhoeddwyd trwy holl Judea a Jerusalem, am i'r holl rai a'r a oeddynt o'r gaeth-glud, ymgasglu ynghŷd i Jerusalem,

4 A phwy bynnag ni chyfarfyddai yno o fewn dau ddydd neu dri, fel y gorchymynasai'r Henuriaid oedd yn llywodraethu, eu hanifeiliaid hwy a attafaelid i gyfraid y Deml, ac yntau a † fwrid allan o blith y rhai oedd o'r gaeth-glud.

† Neu, *a wahenyd.* Jos. 10. 8.

5 Yna yr holl rai a'r a oeddynt o lwyth Judah a Benjamin, a ddaethant ynghŷd o fewn tridiau i Jerusalem, ar y nawfed mis, ar yr ugeinfed *dydd* o'r mis.

6 A'r holl dyrfa yn crynu o achos y drycin y pryd hynny, a eisteddasant yn ehangder y Deml.

7 Yna Esdras a gyfododd, ac a ddywedodd wrthynt hwy, Chwi a droseddasoch y gyfraith, o herwydd i chwi briodi estronesau, ac felly amlhâu pechodau Israel.

8 Yn awr gan hynny cyfaddefwch, a rhoddwch ogoniant i Arglwydd Dduw ein tadau;

9 A gwnêwch ei ewyllys ef, ac ymneillduwch oddi wrth genhedloedd y wlad, ac oddi wrth y gwragedd dïeithr.

10 Yna yr holl dyrfa a waeddasant, ac a ddywedasant â llef uchel, Nyni a wnawn fel y dywedaist ti.

11 Ond o herwydd bod y gynnulleidfa yn fawr, a'i bod hi yn ddrycin, fel na allom ni sefyll allan; ac o herwydd na ellir gorphen y gwaith yma mewn un diwrnod neu ddau, gan i lawer o honom ni bechu yn yr achos yma:

12 Am hynny arhosed pennaethiaid y dyrfa, a deued yr holl rai o'n trigfannau ni, a'r y sy ganddynt wragedd dïeithr, ar yr amser nodedig;

13 A *deued* gyd â hwynt y rheolwŷr a'r barnwŷr allan o bob lle, hyd oni lonyddom ddigofaint yr Arglwydd yn ein herbyn, am y peth hyn.

14 Yna Jonathan mab Azael, ac Ezecïas mab Theocanus, a gymmerasant y matter yma arnynt: a Mosolam, a Leuis, a Sabatheus a'u cynnorthwyodd hwynt;

15 A'r rhai oedd o'r gaeth-glud a wnaethant ar ol hyn oll.

16 Ac Esdras yr offeiriad a ddethololdd iddo y gwŷr pennaf o'u teuluoedd, erbyn eu henwau oll: ac ar y dydd cyntaf o'r degfed mis, hwy a gyd-eisteddasant i holi 'r achos.

17 Felly achos y rhai a briodasent wragedd dïeithr a ddygpwyd i ben y dydd cyntaf o'r mis cyntaf.

18 Ac o'r Offeiriaid a ddaethant ynghŷd, ac a brïodasent wragedd dïeithr, y cafwyd yno;

19 O feibion Jesus fab Josedec, a'i frodyr; [a] Matthelas, ac Eleazar, [b] Joribus, a [c] Joadanus,

20 Y rhai a roddasant eu dwylaw ar droi ymaith eu gwragedd, ac offrymmu hwrdd, yn iawn am eu hamryfusedd.

21 Ac o feibion Emmer; Ananïas, a Zabdeus, ac [d] Lanes, a [e] Sameius, a [f] Hierel, ac [g] Azarias.

22 Ac o feibion [h] Phaisur; Elionas, Massias, Ismael, a Nathanael, ac [i] Ocidelus, a [k] Thalsas.

23 Ac o'r Lefiaid; Josabad, a Semis, a [l] Colius, yr hwn a elwid [m] Calitas, a [n] Phatheus, a Judas, a Jonas.

24 O'r cantorion sanctaidd; [o] Eleazurus, Bacchurus.

25 O'r porthorion; Salumus, a [p] Tholbanes.

26 O'r rhai o Israel, o feibion [q] Phoros;

[a] *Maasias.* [b] *Jarib.* [c] *Gedaliah.* [d] *Harim.* [e] *Maasiah.* [f] *Jehiel.* [g] *Uzziah.* [h] *Pashur.* [i] *Josabad.* [k] *Elasah.* [l] *Celitah.* [m] *Celitah.* [n] *Pethahiah.* [o] *Eliasib.* [p] *Telem.* [q] *Paros.*

[r] Hiermas, ac [s] Edias, a Melchïas, a [t] Maelus, ac Eleazar, ac [u] Asibïas, a Baanias.

27 O feibion Ela; Matthanïas, Zacharias, [x] a Hierielus, a Hieremoth, ac [y] Aedias.

28 Ac o feibion [z] Zamoth; [a] Eliadas, [b] Elisimus, [c] Othonias, Jarimoth, a [d] Sabbatus, a [e] Sardeus.

29 O feibion Bebai; Joannes, ac Ananias, a [f] Josabad, ac [g] Amatheis.

30 O feibion [h] Mani; [i] Olamus, [k] Mamuchus, [l] Jedeus, Jasubus, [m] Jasael a Hieremoth.

31 [n] Ac o feibion Adi; Naathus, a Moosias, Lacunus, a Naidus, a Mathanias, a Sesthel, a Balunus, a Manasseas.

32 Ac o feibion Annas; Elïonas, ac Aseas, a Melchïas, a Sabbeus, a Simon Chosameus.

33 Ac o feibion Asom; [o] Ataneлus, a [p] Matthïas, a [q] Banaia, Eliphalet, a Manasses, a Semi.

34 Ac o feibion Maani; Jeremïas, Momdis, Omaerus, Juel, Mabdai, a Phelias, ac Anos, Carabasion, ac Enasibus, a Mamninatanaimus, Eliasis, Bannus, Elïali, Samis, Selenïas, Nathanias: ac o feibion Ozora; Sesis, Esril, Azailus, Samatus, Zambis, Josiphus.

35 Ac o feibion Ethma; Mazitïas, Zabadïas, Edes, Juel, Banaias.

36 Yr holl rai hyn a brïodasent wragedd dïeithr; a hwy a'u gyrrasant hwy a'u plant ymaith.

456.

37 ¶ A'r Offeiriaid, a'r Lefiaid, a'r rhai oedd o Israel a drigasant yn Jerusalem, ac yn y wlad, y dydd cyntaf o'r seithfed mis: felly plant Israel oedd yn trigo yn eu ‡ trigfaoedd.

38 [r] Yna'r holl dyrfa a ddaethant ynghŷd, o un fryd, i'r fan ehang o'r porth sanctaidd tu a'r dwyrain;

39 A hwy a ddywedasant wrth Esdras yr Offeiriad, a'r darllenydd, am iddo ddwyn cyfraith Moses, yr hon a roddasai Arglwydd Dduw Israel.

40 Yna Esdras yr Arch-offeiriad a ddug y gyfraith at yr holl dyrfa, yn wŷr ac yn wragedd, ac at yr holl offeiriaid, fel y clywent hwy y gyfraith, y dydd cyntaf o'r seithfed mis.

41 Ac efe a ddarllenodd yn y lle ehang o flaen y porth sanctaidd, o'r bore hyd hanner dydd, o flaen gwŷr a gwragedd: a'r holl dyrfa a wrandawsant ar y gyfraith yn ddyfal.

42 Felly Esdras yr Offeiriad a darllenydd y gyfraith, a safodd i fynu mewn pulpud o goed, yr hwn ydoedd wedi ei ddarparu i *hynny.*

43 A Mattathïas, Sammus, Ananïas, Azarïas, Urïas, [s] Ezecïas, a [t] Balasamus, a safasant yn ei ymyl ar y llaw ddehau;

44 Ac ar ei law aswy ef [u] Phaldaius, Misaël, Melchïas, [x] Lothasubus, a [y] Naebarïas.

45 Yna Esdras a gymmerth lyfr y gyfraith, o flaen y dyrfa: canys yr oedd efe yn eistedd § yn anrhydeddus yn y lle pennaf, yn eu gŵydd hwynt oll.

46 A thra oedd efe yn agoryd y gyfraith, hwy a safasant oll yn eu huniawn sefyll: ac Esdras a fendithiodd yr Arglwydd Dduw Goruchaf, Duw y lluoedd Holl-alluog.

47 A'r holl bobl a attebasant, Amen; a chan godi eu dwylaw, a syrthiasant i lawr, ac a addolasant yr Arglwydd.

48 A Jesus, Anus, Sarabïas, Adinus, Jacubus, Sabateus, [z] Auteas, Maianeas, a Chalitas, Azarïas, a Joazabdus, ac Ananïas, a

[r] *Ramiah.* [s] *Jeziah.* [t] *Miamin.* [u] *Malchiah.* [x] *Jehiel.* [y] *Abdi.* [z] *Zattu.* [a] *Elioenai.* [b] *Eliasib.* [c] *Mattaniah.* [d] *Zabad.* [e] *Aziza.* [f] *Zabbai.* [g] *Athlai.* [h] *Bani.* [i] *Meshullam.* [k] *Malluch.* [l] *Adaiah.* [m] *Saul.* [n] *Am yr enwau yn yr 31, 32, 34, 35. Ad. Gwel Ezra 10. 30, 31, 34, &c.* [o] *Mattenai.* [p] *Mattithiah.* [q] *Zabad.* ‡ *pentrefi.* [r] Neh. 8. 1. [s] *Hilkiah.* [t] *Maaseiah.* [u] *Pedaiah.* [x] *Hashum.* [y] Gwel Neh. 8. 4. § Heb. *uwch eu llaw hwynt oll.* [z] *Hodiah.*

Biatus y Lefiaid, a ddysgasant gyfraith yr
Arglwydd, gan wneuthur iddynt hefyd ei
*† Yna Nehemiah, ac Ezra yr Offeiriad a'r ysgrifennydd, a'r Lefiaid oedd yn dysgu'r bobl, a ddywedasant wrth yr holl bobl.* Neh. 8. 9. deall hi.
49 † Yna y llefarodd Attharates wrth
Esdras yr Arch-offeiriad a'r darllenydd, ac
wrth y Lefiaid oedd yn dysgu'r dyrfa, sef
wrth bawb, gan ddywedyd,
50 Y dydd hwn sydd sanctaidd i'r Ar-
glwydd; (canys hwy a wylasant bawb, pan
glywsant y gyfraith.)
51 Ewch chwithau a bwyttêwch y brâs,
ac yfwch y melus, ac anfonwch ran ‡ i'r
‡ Neu, i'r tlodion. rhai nid oes dim ganddynt.
52 Canys y dydd hwn sydd sanctaidd i'r
Arglwydd; ac na fyddwch chwi drist:
canys yr Arglwydd a'ch dwg chwi i anrhy-
dedd.
53 Felly y Lefiaid a gyhoeddasant yr holl
bethau hyn i'r bobl, gan ddywedyd, Y
dydd hwn sydd sanctaidd i'r Arglwydd; na
thristêwch.
54 Yna hwy a aethant ymaith bob un, i
fwytta, ac i yfed, ac i wneuthur yn llawen,
ac i roddi rhan i'r rhai nid oedd dim gan-
ddynt, ac i wledda.
55 O herwydd iddynt ddeall y geiriau y
dysgasid hwy yuddynt, a'r rhai yr oeddynt
wedi ymgynnull o'u hachos.

---

# ¶ AIL LYFR ESDRAS.

## PEN. I.

1 *Gorchymyn i Esdras geryddu'r bobl.* 24 *Duw yn bygwth eu bwrw hwy ymaith;* 35 *a rhoi eu tai hwynt i bobl a fyddai iddynt mwy o ras nâ hwynt-hwy.*

a Ezra 7. 1. AIL lyfr y prophwyd a Esdras, fab Sa-
raias, fab Azarias, fab Helchïas, fab
† *Salum.* † Sadanïas, fab Sadoc, fab Achitob,
2 Fab Achïa, fab Phinehes, fab Heli, fab
Amarïas, fab Aziei, fab Marimoth, fab Ar-
na, fab Ozïas, fab Borith, fab Abisei, fab
Phinehes, fab Eleazar,
3 Fab Aaron o lwyth Lefi, yr hwn a fu
gaeth yngwlâd y Mediaid, yn nheyrnasiad
Artaxerxes brenhin y Persiaid.
4 A gair yr Arglwydd a ddaeth attefi,
gan ddywedyd,
b Esay 68. 1. 5 Dos ymaith, a b mynega i'm pobl eu
pechodau, ac i'w plant eu hanwireddau a
wnaethant i'm herbyn, fel y mynegont i
blant eu plant:
6 Am i bechodau eu tadau hwynt amlhâu
ynddynt hwy: canys hwy a'm gollyngasant
dros gof, ac a offrymmasant i dduwiau
dieithr.
7 Onid myfi a'u dug hwynt o dir yr
Aipht, o dŷ'r caethiwed? er hynny hwynt-
hwy a'm hannogasant i ddigofaint, ac a
ddiystyrasant fy nghynghorion.
8 Tynn walit dy ben, a bwrw'r holl ddryg-
ioni arnynt hwy, achos ni buant ufudd i'm
cyfraith: ond pobl wrthryfelgar ydynt,
9 Pa hyd y cyd-ddygaf â'r rhai y gwneu-
thum gymmaint o ddaioni erddynt?
10 Llawer o frenhinoedd a ddifethais i
c Exod. 14. 28. er eu mwyn hwy. c Pharaoh a'i weision, a'i
holl lu a darewais i i lawr.
d Num. 21. 24. 11 d Yr holl genhedloedd a ddifethais i
o'u blaen hwynt, ac yn y dwyrain yr an-
Jos. 8. a 10. a 12. rheithiais bobl dwy dalaith, *sef* Tyrus a Sidon,
ac a leddais eu holl elynion hwynt.
12 Llefara dithau wrthynt, gan ddywe-
dyd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
e Exod. 24. 29. 13 e Mi a'ch arweiniais chwi trwy'r môr,
ac a roddais i chwi heol eang a diogel o'r
f Exod. 3. 10. a 4. 14. dechreuad: f mi a roddais i chwi Moses yn
dywysog, ac Aaron yn offeiriad.
g Exod. 13. 21. 14 g Rhoddais i chwi oleuni mewn colofn
o dân, a rhyfeddodau mawrion a wnaethum
yn eich plith: er hynny chwi a'm gollyng-
asoch i dros gof, medd yr Arglwydd.
15 Fel hyn y dywed yr Holl-alluog Ar-
h Exod. 16. 13. Psal. 105. 40. glwydd; h Y sofl-ieir oedd yn arwydd i
chwi; rhoddais i chwi bebyll yn amddiffyn:
etto grwgnach a wnaethoch yuddynt.
16 Ac nid ymlawenhasoch yn fy Enw i
am ddinystr eich gelynion, ond grwgnach
yn wastad yr ydych, hyd y dydd he-
ddyw.
17 Mae'r daioni a wneuthum i chwi?
i Oni waeddasoch chwi arnaf, pan oeddych i Num. 14. 3.
newynog a sychedig yn yr anialwch,
18 Gan ddywedyd, Paham y dygaist ti ni
i'r anialwch hwn i'n lladd? gwell a fuasai i
ni wasanaethu'r Aiphtiaid nâ marw yn yr
anialwch hwn.
19 Y pryd hynny y tosturiais wrth eich
galar, a rhoddais i chwi Fanna i'w fwytta:
ac k felly y bwyttasoch fara Angylion. k Doeth. 16. 20.
20 l Pan oedd syched arnoch, oni holltais l Num. 20. 11.
y graig, a'r dwfr a ddylifodd i'ch diwallu
chwi? ac mi a'ch cysgodais rhag y gwres â Doeth. 11. 4.
dail y coed.
21 Rhennais yn eich plith wlad ffrwyth-
lon, a bwriais allan o'ch blaen chwi y Ca-
naaneaid, y Phereziaid, a'r Philistiaid.
m beth mwy a wnaf eroch chwi, medd yr m Esay 5. 4.
Arglwydd?
22 Fel hyn y dywed yr Holl-alluog Ar-
glwydd; Pan oeddych yn yr anialwch,
‡ § wrth ddwfr chwerw'r Amoriaid, yn sy- ‡ Exod. 15. 23.
chedig, ac yn cablu fy Enw;
23 Ni roddais i chwi dân am eich cabl, § *yn afon yr Amoriaid.*
ond bwrw pren a wneuthum i'r dwfr a
gwneuthur yr afon yn groyw.
24 Pa beth a wnaf i ti, Jacob? tydi n Ju- n Exod. 32. 8.
dah, nid ufuddheit i mi: mi a droaf at gen-
hedloedd eraill, ac a roddaf iddynt hwy fy
Enw, fel y cadwont fy nghyfreithiau.
25 Gan i chwi fy ngwrthod, minnau a'ch
gwrthodaf chwithau: pan ddymunoch arnaf
fod yn drugarog wrthych, ni's trugarhâf
wrthych.
26 o Pan alwoch arnaf, ni's gwrandawaf o Esay 1. 15.
chwi: canys chwi a halogasoch eich dwylaw
â gwaed, a'ch traed sydd gyflym i ladd
celain.
27 Nid myfi a wrthodasoch chwi, ond
eich hunain, medd yr Arglwydd.
28 Fel hyn y dywed yr Holl-alluog Ar-
glwydd; Oni ddeisyfais arnoch, fel *y dei-
syf* tad ar ei feibion, neu fam ar ei merched,
neu [illegible] ar ei rhai bychain,
29 Fod o honoch yn bobl i mi, ‖ a min- ‖ *fel yr wyf fi yn Dduw i chwi.*
nau yn Dduw i chwithau; fod o honoch
yn blant i mi, a minnau yn dad i chwi-
thau?
30 p Mi a'ch cesglais chwi ynghŷd, megis p Matt. 23. 37.
y casgl yr Iar ei chywion dan ei hadenydd:
ond yn awr beth a wnâf i chwi? Mi a'ch
bwriaf allan o'm golwg.
31 q Pan offrymmoch i mi, mi a drof fy q Esay 1. 13.
wyneb oddi wrthych: canys mi a wrthodais
eich gwyliau arbennig, eich lleuadau ne-
wydd, a'ch enwaediadau.

32 Danfonais attoch fy ngwasanaethwŷr y
prophwydi, y rhai a ddaliasoch, ac a laddasoch,
a dylliasoch eu cyrph hwynt yn ddarnau,
eu gwaed hwy a ofynnaf fi ar eich dwylaw
chwi, medd yr Arglwydd.
33 Fel hyn y dywed yr Holl-alluog Ar-
[r] Matt. 23. glwydd; [r] Eich tŷ chwi sydd yn anghyfan-
38. nedd, mi a'ch bwriaf chwi allan, fel y
Luc 13. 35. gwna'r gwynt y sofl.
34 A'ch plant ni chenhedlant: canys fy
ngorchymyn i a ddiystyrasant, a'r hyn oedd
ddrwg ger fy mron i a wnaethant.
35 Eich tai a roddaf i'r bobl a ddêl: y
rhai er na's clywsant son am danaf, etto a
gredant ynofi; i'r rhai ni ddangosais ar-
wyddion, er hynny hwy a wnant yr hyn a
orchymynais iddynt:
36 Ni welsant brophwydi, er hynny hwy
a gofiant eu pechodau, ac a'u cyffesant.
37 Yn dyst yr wyf yn galw gras y bobl a
ddaw, y rhai y gorfoledda eu plant mewn
[s] Ioan 20. 29. llawenydd: ac [s] er na's gwelant fi a'u llygaid
corphorol, etto yn yr yspryd hwy a gredant
y peth yr wyf fi yn ei ddywedyd.
38 Ac yn awr, frawd, ystyr pa ogoniant;
a gwel y bobl sydd yn dyfod o'r dwyrain:
39 I'r rhai y rhoddaf i'w harwain Abra-
ham, Isaac, a Jacob, Ozeas, Amos, a Mi-
cheas, Joel, Abdïas, a Jonas,
40 Nahum, ac Abacuc, Sophonïas, Ag-
gëus, Zacharïah, a Malachi, yr hwn a elwir
[t] Mal. 3. 1. hefyd [t] Angel yr Arglwydd.

## PEN. II.

1 *Duw yn achwyn rhag ei bobl:* 10 *Ac etto yn peri i Esdras eu cysuro hwy.* 34 *Am iddynt hwy wrthod, y gelwir y Cenhedloedd.* 43 *Esdras yn gweled mab Duw, a'r rhai a goronir ganddo ef.*

FEL hyn y dywed yr Arglwydd, Mi a
ddygais y bobl hyn o gaethiwed, ac a
roddais iddynt fy ngorchymynion trwy fy
ngweision y prophwydi; y rhai ni wrandawent,
ond diystyru fy nghynghorion i a
wnaethant.
2 Y fam a'u dug a ddywed wrthynt, Ewch
ymaith, blant: canys gweddw ydwyf, a
gwrthodedig.
3 Mi a'ch megais chwi trwy lawenydd:
ond mi a'ch collais chwi trwy alar a thrymder:
canys chwi a bechasoch ger bron yr
Arglwydd eich Duw, ac a wnaethoch y peth
oedd ddrwg yn ei olwg ef.
4 A pha beth a wnaf i chwi y pryd hyn?
gweddw ydwyf a gwrthodedig; ewch i
ffordd, fy mhlant, a gofynnwch drugaredd
gan yr Arglwydd.
5 A minnau, O dad, a alwaf arnat ti am
dystiolaeth yn erbyn mam y plant hyn, y
rhai ni chadwent fy nghyfammod,
6 Fel y dygech hwy i waradwydd, a'u mam
i anrhaith, fel na byddo eppil o honynt hwy.
7 Gwasgerer hwynt ar led ym mhlith y
cenhedloedd; bwrier eu henwau hwy ymaith
oddi ar y ddaear: canys diystyrasant
† *fy Sacrament, neu, fy Llw.* † fy nghyfammod.
8 Gwae tydi, Assur, yr hwn a guddi ynot
yr anghyfiawn: tydi bobl anwir, cofia [a] beth
[a] Gen. 19. 24. a wnaethum i Sodom a Gomorra.
9 Eu tir a droed yn briddellau pŷg, ac
yn dyrrau o ludw: felly hefyd y gwnaf i'r
sawl ni'm gwrandawant, medd yr Arglwydd
Holl-alluog.
10 Fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth Esdras;
Dywed i'm pobl y rhoddaf iddynt deyrnas
Jerusalem, yr hon a roiswn i Israel.

11 Eu gogoniant hwy hefyd a gymmeraf
i mi, a rhoddaf i'r rhai hyn [b] bebyll tragy- [b] Luc 16. 9.
wyddol, y rhai a ddarparaswn iddynt hwy.
12 Hwy a gânt [c] bren y bywyd yn en- [c] Dat. 2. 7.
naint o arogl peraidd: ni lafuriant, ac ni a 22. 2, 14.
ddiffygiant.
13 Ceisiwch, a chwi a dderbyniwch;
gweddïwch am ychydig ddyddiau, fel y
byrhaer hwynt: [d] parottowyd y deyrnas i [d] Matt. 25. 34.
chwi eusus; [e] gwyliwch. [e] Marc 13. 37.
14 Cymmer yn dystiolaeth y nef a'r ddaear:
canys myfi a dorrais y drwg, ac a
wneuthum y da: canys byw wyf fi, medd yr
Arglwydd.
15 Tydi fam cofleidia dy blant, a ‡ mag ‡ *mag hwy trwy lawenydd fel colommen, a gwna eu traed yn sicr: canys, &c.*
hwynt trwy lawenydd: gwna eu traed yn
sicr fel colofn: canys tydi a ddewisais i,
medd yr Arglwydd.
16 A'r meirw a adgyfodaf fi o'u lleoedd,
ac a'u dygaf allan o'r beddau: canys adnabûm
§ fy Enw yn Israel. § *dy enw di, O Israel.*
17 Tydi fam y plant, nac ofna: canys
dewisais di, medd yr Arglwydd.
18 A danfonaf i'th gynnorthwyo Esay, a
Jeremi fy ngwasanaethwŷr, wrth gyngor y
rhai y sancteiddiais, ac y darperais i ti ddeuddeg
pren, yn llawn o amryw ffrwythau;
19 A'r un rhifedi o ffynhonnau yn llifeirio
o laeth a mêl; a saith fynydd mawrion
yn dwyn rhos a lili, â'r rhai y llanwaf dy
blant â llawenydd.
20 Gwna gyfiawnder i'r weddw, barn i'r
amddifad, dyro i'r tlawd, amddiffyn yr
amddifad, dillada'r noeth,
21 Iacha'r drylliedig a'r gwan, na watwar
y cloff, amddiffyn yr anafus, a gad i'r dall
ddyfod i olwg fy nisgleirdeb.
22 Cadw hen ac ieuangc o fewn dy gaerau.
23 [f] Pa le bynnag y caffech y marw, cym- [f] Tob. 1. 17.
mer hwynt, a chladd, ac mi a roddaf i ti yr 18.
eisteddle bennaf yn fy adgyfodiad.
24 Gorphwys, O fy mhobl, a chymmer
dy esmwythdra: canys dy lonyddwch di a
ddaw.
25 Mag dy blant, ti fammaeth dda, a
chryfhâ eu traed hwynt.
26 [g] Ni dderfydd am neb o'th wasanaeth- [g] Ioan 17.
wŷr a roddais i ti: canys ceisiaf hwynt o 12.
fysg dy rifedi di.
27 Na ddiffygia: canys pan ddêl dyddiau
blinder ac ing, eraill a wylant, ac a alarant,
ond tydi a fyddi lawen a diwall.
28 Y cenhedloedd a gynfigennant wrthyt;
er hynny ni's gallant wneuthur dim yn dy
erbyn di, medd yr Arglwydd.
29 Fy nwylaw i a'th wasgoda di, fel na
welo dy blant uffern.
30 Ymlawenhâ, tydi fam gyd â'th blant:
canys mi a'th achubaf di, medd yr Arglwydd.
31 Cofia dy blant, y rhai sydd yn cysgu:
canys mi a'u dygaf hwynt o gyrrau'r
ddaear, a byddaf drugarog wrthynt: canys
trugarog ydwyf, medd yr Holl-alluog Arglwydd.
32 Cofleidia dy blant, hyd oni ddelwyf i
ddangos trugaredd iddynt: canys y mae fy
ffynhonnau yn myned trosodd, a'm gras ni
phalla.
33 Myfi Esdras a gefais orchymyn gan yr
Arglwydd ar fynydd Oreb, i fyned at Israel:
ond pan ddaethum attynt, hwy a'm diystyrasant,
ac a ddirmygasant orchymyn yr
Arglwydd.
34 Ac am hynny y dywedaf wrthych chwi,
genhedloedd, y rhai a glywch, ac a dde-

allwch, Edrychwch am eich bugail, efe a
h Mat. 11. 29. rydd i chwi [h] orphwysdra dragywyddol:
canys yr hwn a ddaw ar ddiwedd y byd
sydd ger llaw.
35 Byddwch barod i wobr y deyrnas:
canys y goleuni tragywyddol a lewyrcha
arnoch byth.
i 1 Cor. 7. 31. 36 Ffowch [i] rhag cysgod y byd hwn,
derbyniwch lawenydd eich gogoniant: ty-
stiolaethaf fy achubwr yn gyhoedd.
37 O derbyniwch, rhodd a roddir i chwi,
a byddwch lawen, gan ddiolch i'r hwn a'ch
galwodd i'r deyrnas nefol.
k Dat. 7. 3, 4. 38 Codwch, a sefwch, gwelwch [k] rife-
di y rhai a nodwyd [l] † yngwledd yr Ar-
l Mat. 22. 1, &c. Dat. 19. 9. glwydd:
39 Y rhai a ymadawsant â chysgod y byd,
† *Neu,* … ac [m] a dderbyniasant wisgoedd gogoneddus
m Dat. 3. 4. a 7. 14. gan yr Arglwydd.
40 Cymmer dy rifedi, o Sïon, cau ar dy
rai gwynion, y rhai a gadwasant gyfraith yr
Arglwydd.
n Dat. 6. 11. 41 [n] Cyflawnwyd rhifedi dy blant, y rhai
yr wyt yn hiraethu am danynt, dymuna
nerth yr Arglwydd, fel y sancteiddier dy
bobl, y rhai a alwyd o'r dechreuad.
o Dat. 7. 9. 42 [o] Myfi Esdras a welais ar fynydd Sïon,
dyrfa o bobl, allan o rifedi, a hwynt-hwy i
gŷd oeddynt yn moli'r Arglwydd ar gerdd.
43 Ac yn eu canol hwynt yr oedd gwr
ieuangc tal o gorpholaeth, yn uwch nâ'r
lleill oll; ac efe a osodes goronau ar bennau
pob un o honynt, ac efe a ddyrchafwyd yn
fwy, a hynny oedd ryfedd iawn gennyf fi.
p Dat. 7. 14. 44 Yna [p] y gofynnais i'r Angel, gan ddy-
wedyd, Beth yw y rhai hyn, Arglwydd?
45 Yntau a attebodd, ac a ddywedodd
wrthyf, Dyma'r rhai a ddïosgasant y dillad
marwol, ac a wisgasant yr anfarwol, ac a
gyfaddefasant Enw Duw: yn awr y coronir
hwynt, ac y derbyniant balmwŷdd.
46 Ac mi a ddywedais wrth yr Angel,
Pwy yw y gwr ieuangc sydd yn eu coroni
hwynt, ac yn rhoddi palmwŷdd yn eu
dwylaw?
47 A chan atteb efe a ddywedodd wrthyf,
q Dat. 2. 10. [q] Mab Duw yw efe, yr hwn a gyfaddefa-
sant hwy yn y byd. Yna y dechreuais in-
nau eu cannol hwynt yn fawr, y rhai a
safasent mor bybyr wrth Enw yr Ar-
glwydd.
48 Yna y dywedodd yr Angel wrthyf,
Dos ymaith a dangos i'm pobl pa fath
bethau, a pha gymmaint o ryfeddodau'r
Arglwydd Dduw a welaist ti.

## PEN. III.

1 *Esdras yn flin arno,* 13 *ac yn cydnabod pechodau'r bobl:* 28 *ac yn achwyn fod y Cenhedloedd yn arglwyddiaethu arnynt hwy, er eu bod yn fwy eu drygioni nâ hwynt-hwy.*

Y Ddegfed flwyddyn ar hugain yn ol dis-
trywio'r ddinas, yr oeddwn i o fewn
Babilon yn gorwedd ar fy ngwely yn drall-
odus, a'm meddyliau oedd yn dyfod i fynu
ar fy nghalon.
2 Canys mi a welais anghyfannedd-dra
Sïon, a golud trigolion Babilon.
3 A'm hyspryd a gynhyrfwyd yn ddir-
fawr, a mi a ddechreuais lefaru wrth y
Goruchaf eirian llawn o ofn, ac a ddywedais,
4 O Arglwydd lywydd, ti a ddywedaist
yn y dechreu, pan osodaist y ddaear, (a
hynny dy hun yn unig) ac a roddaist or-
chymyn i'r bobl,

5 Ac [a] a roddaist gorph i Adda dïenaid, 3446.
yr hwn oedd waith dy ddwylaw, ac a a Gen. 2. 7.
anadlaist ynddo anadl einioes, ac efe a
wnaed yn fyw ger dy fron di.
6 A thi a'i dygaist ef i baradwys, yr hon
a blanasai dy ddeheulaw di, cyn dyfod o'r
ddaear rhagddi erioed:
7 A gorchymynaist iddo ef garu dy
ffordd di, yr hon a droseddodd efe; ac
allan o law ti a ordeiniaist ynddo ef far-
wolaeth, ac yn ei genhedlaethau ef, o'r
rhai y daeth cenhedloedd, llwythau, pobl-
oedd, a thylwythau aneirif.
8 A [b] phob cenedl a rodiodd wrth eu b Gen. 6.
hewyllys eu hun, a hwy a wnaethant be- 12.
thau rhyfedd yn dy olwg di, ac a ddïysty-
rasant dy orchymynion.
9 Ond [c] yn ol ennyd o amser, ti a ddy- c Gen. 7.
gaist y diluw ar uchaf preswylwŷr y byd, 10.
ac a'u difethaist hwynt.
10 Ac fe ddigwyddodd ym mhawb o
honynt fel yr oedd marwolaeth i Adda,
felly yr oedd y diluw i'r rhai hyn.
11 Etto un o honynt a adewaist ti, sef
[d] Noah, a'i deulu, o'r hwn y daeth pob dŷn d 1 Petr 3. 20.
cyfiawn.
12 A digwyddodd, pan ddechreuodd y
rhai oedd yn preswylio ar y ddaear amlhâu,
a phan oedd iddynt lawer o blant, a phan
oeddynt yn bobl lawer, hwy a ddechreuas-
ant wneuthur mwy o anwiredd nâ'r rhai
cyntaf.
13 A digwyddodd, pan oeddynt yn byw
mor annuwiol ger dy fron di, [e] ddewis o e Gen. 12. 1.
honot it' wr o honynt a elwid [f] Abraham:
14 A hwnnw a geraist ti, a dangosaist f Gen. 17. 5.
iddo ef yn unig dy ewyllys;
15 A gwnaethost ag ef gyfammod tra-
gywyddol, gan addo iddo, na wrthodid byth
ei had ef.
16 [g] A thi a roddaist iddo ef Isaac, ac [h] i g Gen. 21. 2, 3.
Isaac y rhoddaist Jacob ac Esau: a Jacob a h Gen. 25. 25, 26.
[i] ddewisaist i ti, a gwrthodaist Esau; ac
felly Jacob a aeth yn genedl fawr. i Mal. 1. 2, 3.
17 Yna pan arweiniaist ei had ef allan
o'r Aipht, [k] ti a'u dygaist hwynt i fynu i Rhuf. 9. 13.
fynydd Sina, k Exod. 19. 1.
18 A chan ogwyddo'r nefoedd, ti a sicr- Deut. 4. 10.
heaist y ddaear, ac a gynhyrfaist yr holl fyd,
ac a wnaethost i'r dyfnderoedd grynu, ac a
drallodaist ddynion yr oes honno.
19 A'th ogoniant a aeth trwy bedwar
porth, tân, daear-gryn, gwynt, ac oerni,
fel y gellit roddi cyfraith i had Jacob, † a † *ac i holl genhedlaeth Israel fel y cadwent hi yn ddiwyd.*
diwydrwydd i genhedlaeth Israel.
20 Ac ni thynnaist oddi wrthynt hwy
galon ddrwg, fel y gallai dy gyfraith di
ddwyn ffrwyth ynddynt hwy. Gen. 3. 6.
21 Canys yr Adda cyntaf yn dwyn calon
ddrwg, a droseddodd ac a orchfygwyd; a
phawb a'r a anwyd o hono ef ydynt felly.
22 Fel hyn [l] yr arhosodd gwendid, a'r l Rhuf. 7.
gyfraith hefyd ynghalon y bobl, ynghŷd â 8, &c.
drygioni'r gwreiddyn, fel yr ymadawodd yr
hyn oedd dda, ac yr arhosodd y drwg.
23 Ac felly'r amseroedd a gerddasant, a'r
blynyddoedd a ddarfuant: yna [m] y codaist m 1 Sam 16. 13.
i fynu i ti was a elwid Dafydd;
24 [n] Ac a beraist iddo adeiladu dinas n 2 Sam 5. 2. a 7 5, 13.
i'th Enw di, ac offrwm it' yno thus ac
aberthau.
25 A hyn a wnaethpwyd dros lawer o
flynyddoedd; yna preswylwŷr y ddinas a
ymadawsant â thi,
26 Gan wneuthur ym mhob peth fel y
gwnaethai Adda a'i holl genhedlaethau:

3446. canys calon ddrwg oedd ganddynt hwythau hefyd.

27 Ac felly y rhoddaist dy ddinas i ddwylaw dy elynion.

28 A wnant hwy sydd yn preswylio yn Babilon ddim gwell, fel y caent hwy am hynny lywodraeth ar Sion?

29 Canys pan ddaethum yno, a gweled drygioni aneirif, yna fy enaid a welodd lawer o droseddwŷr yn y ddegfed flwyddyn ar hugain hon, a'm calon a ddiffygiodd.

30 Canys gwelais fel y cyd-ddygaist ti â hwynt yn pechu, ac yr arbedaist y drwg weithredwŷr; ac y difethaist dy bobl dy hun, ac y cedwaist dy elynion, ac ni's dangosaist hyn.

31 Ni fedraf fi † feddwl pa fodd y gellir gadael y ffordd hon. Ai gwell gan hynny ydynt hwy o Babilon nâ hwy o Sion? († *gofio.*)

32 Neu a oes pobl i'w cael a'th edwyn di heb law Israel? neu pa genhedlaeth a gredodd i'th gyfammodau di fel Jacob?

33 Ac er hynny ni's gwelir mo'u gwobr hwynt, ac nid oes ffrwyth i'w llafur hwy: canys aethum yma a thraw trwy'r cenhedloedd, a gwelaf hwynt yn oludog, ac ni's meddyliant am dy orchymynion di.

34 Am hynny, pwysa mewn clorian ein pechodau ni, a'r eiddynt hwythau hefyd sy'n preswylio yn y byd; ac ni cheffir dy Enw yn un lle ond yn Israel.

35 Neu pa bryd ni phechodd yn dy olwg di y rhai sydd yn preswylio ar y ddaear? neu pa bobl a gadwodd felly dy orchymynion?

36 Tydi a gei wybod erbyn ei enw mai Israel a gadwodd dy orchymynion; ac nid y cenhedloedd.

## PEN. IV.

1 *Yr Angel yn dangos mor ddi-ddeall oedd Esdras ym marnedigaethau Duw: 13 ac yn ei gynghori nad ymyrro er bethau a fo uwch nâ'i gyrraedd: 23 ac er hynny Esdras yn gofyn llawer o gwestiynau, ac yn cael atteb iddynt.*

A'R Angel, yr hwn a ddanfonwyd attaf, yr hwn yr oedd ei enw Uriel, a'm hattebodd,

2 Ac a ddywedodd, Fe aeth dy galon yn rhy bell yn y byd hwn, ac a ydwyt ti yn meddwl amgyffred ffordd y Goruchaf?

3 Yna y dywedais innau, Gwir, fy Arglwydd. Ac efe a'm hattebodd, gan ddywedyd, Fe a'm hanfonwyd i ddangos i ti dair ffordd, ac i roddi tri chyffelybrwydd o'th flaen di.

4 Os dangosi i mi un o honynt, minnau a ddangosaf i tithau'r ffordd yr ewyllysi gael ei gweled; a dangosaf i ti o ba le y mae'r galon ddrwg.

5 A mi a ddywedais, Dywed, fy Arglwydd. Yna y dywedodd efe wrthyf, Dos, pwysa i mi bwys tân, neu fesur i mi'r awel wynt, neu alw yn ei ol y dydd a aeth heibio.

6 Yna yr attebais ac y dywedais, Pa ddŷn a all wneuthur hynny, fel y gofynnit i mi'r fath bethau.

7 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Pe gofynnwn i ti pa faint o drigfannau sy ynghanol y môr, neu pa rifedi o aberoedd sydd yn nechreu'r dyfnder, neu pa gymmaint o ffynhonnau sydd oddi ar y ffurfafen, neu pa le y mae terfynau paradwys;

8 Ond antur ti a ddywedit wrthyf, Nid aethum i erioed i'r dyfnder, nac i uffern, ac ni ddringais i'r nefoedd.

9 Ac yn awr ni ofynnais i ti ond yn unig am y tân, a'r gwynt, a'r dydd a dreuliaist, ac am bethau ni's gelli dy neillduo di oddi wrthynt, er hynny ni fedri di roddi i mi atteb am danynt. 3446.

10 Ac efe a ddywedodd wrthyf eilwaith, Nid adwaenost yr eiddot dy hun, na'r pethau a dyfasant gyd â thi;

11 A pha fodd y gall dy lestr di amgyffred ffordd y Goruchaf? a'r byd yn awr wedi ei lygru oddi allan, ddeall † y llygredigaeth sydd yn amlwg yn fy ngolwg i? († *yr anllygredigaeth.*)

12 A dywedais wrtho ef, Gwell a fuasai i ni na buasem, nâ bod i ni fyw mewn anwireddau; a dioddef, heb wybod paham.

13 Efe a'm hattebodd, ac a ddywedodd, Mi a aethum i goed mawr ar faes, [a] a'r prennau oedd yn ymgynghori, ([a] Barn. 9. 8. 2 Chron. 25. 18.)

14 Gan ddywedyd, Deuwch, awn i ymladd â'r môr, hyd oni chilio efe rhagom, fel y gallom wneuthur mwy o goedydd.

15 A llifeiriaint y môr hefyd yr un modd a ymgynhorasant, gan ddywedyd, Deuwch, awn i fynu, a darostyngwn goedydd y maes, fel y gallom wneuthur i ni wlad arall yno hefyd.

16 A gwnaethpwyd bwriad y coed yn ofer: canys tân a ddaeth ac a'i llosgodd ef.

17 Hefyd bwriad llifeiriant y môr a ballodd: canys y tywod a safodd, ac a'i rhwystrodd ef.

18 Pe byddit ti yn farnwr rhwng y ddau hyn, pa un a gyfiawnhëit ti? neu pa un a gondemnit ti?

19 Mi a attebais, gan ddywedyd, Yn wir ofer oedd eu hamcanion ill dau: canys y tir a roddwyd i'r coed; ac y mae hefyd i'r môr le i fwrw ei donnau.

20 Yna y'm hattebodd, gan ddywedyd, Ti a fernaist yn gyfiawn: ond paham na ferni dy hun hefyd?

21 Canys fel y rhoddwyd y tir i'r coed, a'r môr i'w donnau: yn yr un modd [b] y rhai a drigant ar y ddaear ni ddeallant ddim ond y pethau sydd ar y ddaear; a'r hwn sydd yn aros uwch law'r nefoedd yn unig, a gaiff ddeall y pethau sydd goruwch uchder y nefoedd. ([b] Esay 55. 8, 9. Ioan 3. 31. 1 Cor. 2. 14.)

22 Yna yr attebais, gan ddywedyd, Attolwg, Arglwydd, rhoddler i mi ddeall.

23 Canys nid oedd yn fy mryd i ymofyn yn fanwl am bethau uchel, ond am y pethau sy yn myned heibio i ni beunydd; hynny yw, paham y rhoddwyd Israel yn waradwydd i'r cenhedloedd, a phaham y rhoddwyd y bobl a geraist ti i genhedloedd anwir, a phaham y difethwyd cyfraith ein tadau, ac y dirymwyd yr ammodau 'sgrifenedig,

24 Ac yr ydym ni yn myned o'r byd fel ceiliogod rhedyn, a'n heinioes nid yw ddim ond ofn a braw, ac ni haeddwn ni drugaredd.

25 Pa beth a wna efe gan hynny i'w Enw, ar yr hwn y'n gelwir? Am y pethau hyn yr ymofynnais.

26 Yna efe a'm hattebodd, gan ddywedyd, Po mwyaf yr ymofynnech, rhyfeddach fydd gennyt; canys mae'r byd ar frys i ymado,

27 Ac ni fedr efe ddeall y pethau a addawyd i'r rhai cyfiawn yn yr amser sydd yn dyfod; canys [c] llawn yw'r byd o anghyfiawnder a gwendid. ([c] 1 Ioan 5. 19.)

28 Ond am y pethau yr ymofynnaist â mi, mi a ddywedaf i ti; Drygioni a hauwyd, ond ni ddaeth ei ddinystr ef etto.

3446. 29 Oni ddymchwelir yr hyn a hauwyd,
ac onid â y fan lle yr hauwyd y drwg
heibio, yna ni ddaw'r hyn a hauwyd â
daioni:
30 Canys grawn yr had drwg a hauwyd
ynghalon Adda o'r dechreu, a pha gym-
maint o anwiredd a ddug efe hyd yn hyn?
a pha gymmaint a ddwg efe etto † oni ddêl
amser dyrnu?
*† hyd oni ddêl y llawr-dyrnu.*
31 Ystyria ynot dy hun, pa gymmaint
ffrwyth o anwiredd y mae grawn yr had
drwg wedi ei ddwyn.
32 A phan dorrer y tywys, y rhai sy allan
o rifedi, pa lawr-dyrnu ei faint a lanwant
hwy?
33 Yna yr attebais, gan ddywedyd, Pa
fodd a pha bryd y bydd hyn? paham y
mae ein blynyddoedd yn ychydig ac yn
ddrwg?
34 Ac efe a'm hattebodd, gan ddywedyd,
Na phrysura di yn uwch nâ'r Goruchaf:
canys yn ofer y prysuri i fod uwch ei law
ef; canys dy uchder a aeth yn fawr.
35 Oni ymofynnodd eneidiau y rhai cyf-
iawn am y pethau hyn yn eu 'stafellau, gan
ddywedyd; Pa hŷd y gobeithiaf fel hyn?
pa bryd y daw ffrwyth ein llawr-dyrnu, a'n
gwobr ni?
*‡ Uriel.*
36 ‡ Jeremïel yr Arch-angel a attebodd
hynny gan ddywedyd, Pan gyflawner rhi-
fedi'r had ynoch; canys efe a bwysodd y
byd mewn clorian;
37 Wrth fesur y mesurodd efe'r am-
seroedd, ac wrth rifedi y rhifodd efe'r
amseroedd; ac ni chynhyrfa efe, ac ni
symmuda hwynt, nes cyflawni'r mesur
hwnnw.
38 Yna yr attebais, gan ddywedyd, O
Arglwydd lywydd, yr ydym ni oll yn
llawn anwiredd.
39 Ac ysgatfydd er ein mwyn ni y mae
na lanwyd ysguboriau y rhai cyfiawn, o
achos pechodau y rhai sydd yn aros ar y
ddaear.
40 Ac efe a'm hattebodd i, gan ddy-
wedyd, Dos ymaith, a gofyn i wraig feich-
iog, pan gyflawner ei naw mis hi, a all ei
chroth hi gadw'r etifedd yn hŵy o'i mewn
hi.
41 A mi a ddywedais, Na all, Arglwydd.
Ac efe a ddywedodd wrthyf, Yn y bedd y
mae 'stafelloedd eneidiau yn debyg i groth
gwraig.
42 Canys fel y prysura gwraig wrth esgor
i ddïange oddi wrth angen y drafael, felly y
prysura'r lleoedd hyn, i roddi drachefn yr
hyn a roddwyd yno.
43 Dangosir it' o'r dechreu y pethau a
ewyllysi gael eu gweled.
44 Yna yr attebais, gan ddywedyd, Os
cefais ffafr yn dy olwg di, ac od yw bossibl,
ac os ydwyf gymmwys i hynny,
45 Dangos i mi, a'i mwy sydd i ddyfod
nag a aeth heibio, neu a bassiodd mwy nag
sydd i ddyfod.
46 Mi a wn beth a bassiodd, ond ni wn i
beth sydd i ddyfod.
47 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Saf di
o'r tu dehau, ac mi a ddeonglaf y gyffelyb-
iaeth i ti.
48 Ac felly mi a sefais, ac wele, mi a
welwn ffwrn boeth yn myned heibio o'm
blaen: a digwyddodd, pan aeth y fflam
heibio, i mi edrych, ac wele, y mwg oedd
yn parhâu.
49 Yn ol hyn fe aeth heibio o'm
blaen i gwmmwl yn llawn o ddwfr, ac efe a 3446.
ollyngodd i lawr gur-wlaw mawr; a phan
ddarfu'r cur-wlaw, y defnynnau a barhasant.
50 Yna y dywedodd efe wrthyf, Ystyria
ynot dy hun: Megis y mae'r gwlaw yn fwy
nâ'r defnynnau, a'r tân yn fwy nâ'r mwg:
ond y defnynnau a'r mwg sydd yn aros
ar ol: felly y rhagora'r mesur a aeth
heibio.
51 Yna y dymunais, gan ddywedyd, A
dybygit ti y byddwn i byw hyd y dyddiau
hynny? neu pa beth a ddigwydd yn y
dyddiau hynny?
52 Efe a'm hattebodd i, gan ddywedyd,
Am yr arwyddion a ofynnaist i mi, mi a
fedraf ddywedyd peth i ti: ond am dy
einioes, ni'm danfonwyd i ddangos i ti; ac
nis medraf.

## PEN. V.

1 *Arwydd yr amserau a ddaw.* 23 *Y mae yn gofyn paham y mae Duw, ac yntau heb ddewis ond un bobl, yn bwrw y rhai hynny ymaith:* 30 *Ac yn cael dangos iddo fod barnedigaethau Duw yn anchwiliadwy;* 46 *ac nad yw Duw yn gwneuthur y cwbl ar unwaith.*

AC am yr arwyddion, wele, y dyddiau
a ddaw, pan ddalier trigolion y ddaear
† yn rhifedi mawr, a ffordd y gwirio- *† Neu, mewn cyfoeth mawr.*
nedd a guddir, a'r tir a fydd diffrwyth o
ffydd.
2 A [a] drygioni a'chwanega yn fwy nâ'r *a Mat. 24. 12.*
hyn a weli di yn awr, neu'r hyn a glywaist
er ys talm.
3 A'r wlad yr hon a weli di yn awr â
gwreiddyn iddi, a gei di ei gweled yn
ddisymmwth yn anghyfannedd.
4 Ond os y Goruchaf a rydd i ti hoedl,
ti a gei weled yn ol y trydydd udgorn, y
tywynna'r haul yn ddisymmwth y nos, a'r
lleuad dair gwaith yn y dydd:
5 A gwaed a ddifera o'r coed, a'r garreg a
lefara, a'r bobl a drallodir:
6 A'r neb ni ddisgwyl preswylwŷr y ddaear
am dano, a deyrnasa; a'r adar a newidiant
drigfannau:
7 A môr Sodom a fwrw allan bysgod, ac
a rua'r nos, yn ddïeithr i lawer; ond pawb
a gaiff glywed ei lais ef:
8 A phethau fydd allan o drefn yn llawer
lle, a'r tân a yrrir allan drachefn yn fynych,
a'r anifeiliaid gwŷlltion a newidiant eu lle-
oedd, a'r gwragedd mis-glwyfus a esgorant
ar anghenfilod:
9 A dwfr hallt a geir yn y croyw, a chyf-
eillion a ddistrywiant bob un eu gilydd,
a'r synwyr a guddir; a deall a neilltuir i
le dirgel,
10 A llawer a'i cais, ac ni's cânt: ac an-
ghyfiawnder ac anniweirdeb a amlheir ar y
ddaear.
11 A'r naill wlad a ofyn i'r llall, gan ddy-
wedyd, A aeth cyfiawnder, yr hon a wna
ddyn yn gyfiawn, trwot ti? A hithau a ddy-
wed, Na ddo,
12 Y pryd hynny y gobeithia pobl, ac
ni's caffant ddim; llafuriant, a'u ffyrdd ni
lwydda.
13 Cefais gennad i ddangos it' y cyfryw
arwyddion. Os tydi a weddii eilwaith,
ac os wyli fel yn awr, ac os ymprydi saith
niwrnod, ti a gei glywed pethau mwy nâ
hyn.
14 Yna mi a ddeffroais, ac fe aeth trwy
fy holl gorph ofn dirfawr, a'm meddwl a
drallodwyd, fel y llewygodd.

15 A'r Angel, yr hwn a ddaeth i ymddiddan â mi, a'm daliodd i, ac a'm cysurodd, ac a'm gosododd ar fy nhraed.

16 A digwyddodd yr ail nos, i Salathiel tywysog y bobl ddyfod attaf, gan ddywedyd, Pa le y buost ti? a phaham y mae mor drwm yr olwg arnat?

17 Oni wyddost ti ddarfod gorchymyn Israel i ti yngwlad eu caethiwed?

18 Cyfod gan hynny, a bwytta fara, ac na âd ddim o honom ni, fel bugail a adawai ei ddefaid yn nwylaw bleiddiaid creulawn.

19 Yna y dywedais wrtho, Dos ymaith oddi wrthyf, ac na thyred attaf. Ac efe a glybu yr hyn a ddywedais, ac a aeth oddi wrthyf.

20 A mi a ymprydiais saith niwrnod, gan alaru ac wylo, fel y gorchymynodd yr Angel Uriel i mi.

21 Ac ym mhen y saith niwrnod, meddyliau fy nghalon oedd yn flinion aruthr wrthyf eilwaith.

22 A'm henaid a gymmerodd drachefn yspryd deall, a mi a ddechreuais draethu ymadroddion ger bron y Goruchaf,

23 A dywedais, O Arglwydd lywydd, o holl goed y ddaear, ac o'u holl brennau, ti a ddewisaist un winwŷdden yn unig;

24 O holl diroedd yr holl fyd, ti a ddewisaist i ti un pydew; ac o'i holl flodeu ef, un lili;

25 Ac o holl ddyfnderau 'r môr, ti a lenwaist un afon; ac o'r holl ddinasoedd a adeiladwyd, ti a sancteiddiaist Sïon it' dy hun;

26 Ac o'r holl ehediaid a grewyd, ti a enwaist it' un golommen; ac o'r holl anifeiliaid a wnaed, ti a ddarperaist it' un ddafad;

27 Ac ym mysg holl lïaws bobloedd ti a ynnillaist it' un genedl: a rhoddaist i'r genedl honno a geraist gyfraith sydd gymmeradwy gan bawb.

28 Ac yn awr, Arglwydd, paham y rhoddaist i fynu yr un genedl hon i lawer? ac y gosodaist eraill ar yr un gwreiddyn? a phaham y gwasgeraist dy unig bobl ym mhlith lleweroedd?

29 A'r rhai a wrthwynebasant dy addewidion, ac ni chredasant dy gyfammodau, a'u sathrasant hwy i lawr.

30 Os gan gasâu y caseaist dy bobl, dy ddwylaw di a ddylai eu cospi hwynt.

31 Ac wedi i mi ddywedyd y geiriau hyn, danfonwyd yr Angel attaf, yr hwn a ddaethai attaf y nos o'r blaen;

32 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Gwrando arnaf, a mi a'th ddysgaf; ystyr y peth a draethwyf, a mi a ddangosaf it' fwy.

33 A mi a ddywedais wrtho, Dywed, fy Arglwydd. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Yr ydwyt yn fawr trallod dy feddwl er mwyn Israel: [b] a wyt ti yn caru'r bobl hynny yn well nag y mae'r hwn a'u gwnaeth hwynt?

[b] Psa. 8. 4.

34 A dywedais, Nac wyf, Arglwydd: ond o wir ofid y lleferais: canys fy arennau a'm penydiant bob awr, wrth geisio deall ffordd y Goruchaf, ac wrth chwilio am ran o'i farnedigaethau ef.

35 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ni elli di hynny. A dywedais innau, Paham Arglwydd? i ba beth y'm ganwyd? neu pa achos na bu groth fy mam yn fedd i mi, fel na chawswn weled poen Jacob, a blinder had Israel?

36 Ac efe a ddywedodd wrthyf, rhifa i mi y pethau sydd etto heb ddyfod, casgl ynghŷd y defnynnau sydd ar led, a gwna 'r llysiau gwŷwon yn leision eilchwyl,

37 Agor i mi y lleoedd cauedig, a dwg allan i mi y gwyntoedd a gauwyd ynddynt, dangos i mi lûn llefer ydd; ac yna y dangosaf i tithau y peth yr wyt yn ymboeni i'w weled.

38 A mi a ddywedais, O Arglwydd lywydd, pwy a all wybod y pethau hyn, ond y neb [c] nid yw ei drigfa ym mhlith dynion?

[c] Dan. 2. 11.

39 A minnau annoeth ydwyf: pa fodd wrth hynny y gallaf ddywedyd am y pethau y gofynnaist i mi?

40 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Fel na's medri wneuthur un o'r pethau hyn a enwyd, felly ni elli gael allan fy marn i, neu, 'r caredigrwydd a addewais i'm pobl yn y diwedd.

41 Yna mi a ddywedais, Wele, O Arglwydd, cyfagos wyt ti at y rhai a fyddant yn y diwedd, a pha beth a wna y rhai a fu o'm blaen i? neu ninnau *y rhai ydym yr awron*, neu y rhai a ddaw ar ein hol ni?

42 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Cyffelybaf fy marn i fodrwy: Fel nad oes annibendod o'r diweddaf, felly nid oes brysurdeb o'r cyntaf.

43 Minnau a attebais, gan ddywedyd, Oni allasit ti wneuthur y rhai sydd wedi eu gwneuthur, a'r rhai sydd yn awr, a'r rhai a ddaw, ar unwaith, fel y dangosit dy farn yn gynt?

44 Ac efe a'm hattebodd, gan ddywedyd, Ni all y creadur brysuro uwch law y creawdr, ac ni all y byd gynnwys ar unwaith y rhai a wneir ynddo ef.

45 A minnau a ddywedais, Fel y dywedaist i'th was, mai tydi yr hwn a fywhei bob peth; a roddaist fywyd ar unwaith i'r creadur a wnaethost, a'r creadur a'i dioddefodd; felly y gallai efe gynnwys y rhai sydd yn awr ar unwaith.

46 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Gofyn i groth gwraig, a dywed wrthi, Os wyt ti yn dwyn plant, paham na wnei di hynny ar unwaith, ond y naill ar ol y llall? dymuna arni gan hynny ddwyn deg ar unwaith.

47 A mi a ddywedais, Ni ddichon hi: eithr rhaid iddi wneuthur hynny wrth ysbaid amser.

48 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Felly minnau a roddais groth y ddaear i'r rhai a hauwyd ynddi, yn eu hamseroedd.

49 Canys megis na ddichon dŷn bach ieuangc ddwyn i'r byd y pethau a berthynant i'r oedrannus, felly y trefnais i y byd yr hwn a wneuthum.

50 Ac mi a ofynnais, ac a ddywedais, Gan it' yn awr roddi i mi y ffordd, myfi a af rhagof i lefaru o'th flaen di: canys ein mam ni, yr hon a ddywedaist i mi ei bod yn ieuangc sydd yn awr yn heneiddio.

51 Efe a'm hattebodd i, gan ddywedyd, Gofyn i wraig sydd yn planta, a hi a ddywed i ti.

52 Dywed wrthi hi, Paham nad yw y plant a ddygaist yn awr, debyg i'r rhai o'r blaen ond yn llai o gorpholaeth?

53 A hithau a'th ettyb, Un fath sydd ar y rhai a anwyd ynghryfder ieuengctid, a math arall ar y rhai a anwyd yn amser oedran, pan oedd y groth yn pallu.

54 Ystyria dithau gan hynny, fel yr ydych chwi yn llai o gorpholaeth nâ'r rhai a fu o'ch blaen chwi.

55 Ac felly y mae'r rhai a ddaw ar eich ol chwi yn llai nâ chwithau, megis creaduriaid yn dechreu heneiddio, ac wedi myned dros gryfder ieungctid.

56 A dywedais, Attolwg it, Arglwydd, os cefais ffafr yn dy olwg di, dangos i'th was trwy bwy yr ymweli â'th greadur.

## PEN. VI.

1 *Bod arfaeth Duw yn dragywyddol.* 8 *Y canlyn y byd a ddaw, un y man ar ol hwn.* 13 *Pa beth a ddigwydd yn y diwedd.* 31 *Addaw iddo fwy o wybodaeth:* 38 *Ac yntau yn cyfrif gweithredoedd y creadigaeth,* 57 *ac yn cwyno nad oes ran o'r byd i'r rhai y gwnaed ef er eu mwyn.*

AC efe a ddywedodd wrthyf, Yn y dechreuad pan wnaethpwyd y ddaear, cyn gosod terfynau'r byd, cyn chwythu o'r gwyntoedd,

2 Cyn clywed trwst y taranau, cyn gweled disgleirdeb y mellt, cyn gosod seiliau Paradwys,

3 Cyn gweled y bloden prydferth, cyn sicrhau'r nerthoedd symmudadwy, cyn casglu ynghŷd y lluaws aneirif o Angylion,

4 Cyn dyrchafu uchelderau'r awyr, cyn enwi mesuroedd y ffurfafen, cyn gwresogi 'r ffumerau yn Sïon,

5 Ac o flaen chwilio am y blynyddoedd presennol, a chyn troi dychymygiadau y rhai sydd 'y pryd hyn yn pechu, cyn selio y rhai a gadwasant y ffydd yn drysor;

6 Y pryd hynny yr ystyriais y pethau hyn; a gwnaethpwyd hwynt oll trwofi yn unig, ac nid trwy arall: a'u diwedd hwynt fydd hefyd trwofi, ac nid trwy neb arall.

7 Yna yr attebais, gan ddywedyd, Beth fydd gwahaniad yr amseroedd? a pha bryd y bydd diwedd y cyntaf, a dechreuad yr hwn sydd yn canlyn?

8 Ac efe a ddywedodd wrthyf, O Abraham hyd Isaac, pan anwyd iddo ef Jacob ac Esau, [a] llaw Jacob † o'r dechreu a ddaliodd sawdl Esau: — *a Gen. 25. 26.* — *† yn gyntaf.*

9 Canys Esau yw diwedd y byd hwn, a Jacob yw dechreu'r byd sydd i ddyfod.

10 Llaw dŷn sydd rhwng sawdl a llaw. Na ofyn i mi mwy, Esdras.

11 ¶ Yna'r attebais, gan ddywedyd, O Arglwydd lywydd, os cefais ffafr yn dy olwg di,

12 Attolwg dangos i'th was ddiwedd dy arwyddion, y rhai y dangosaist im' ran o honynt y nos ddiwaethaf.

13 Ac efe a'm hattebodd, gan ddywedyd, Cyfod ar dy draed, a gwrando lef gref soniarus.

14 Daw fel ‡ daear-gryn: ond y lle yr ydwyt yn sefyll arno nid ysgog. — *‡ cynnwrf mawr.*

15 Gan hynny pan lefaro efe, nac ofna di; canys am y diwedd y mae'r gair, ac am sylfaen y ddaear y deallir ef.

16 A phaham? o blegid y mae'r ymadrodd am y pethau hyn yn crynu, ac yn cynhyrfu: canys efe a ŵyr y bydd rhaid newid diwedd y pethau hyn.

17 A digwyddodd pan glywais, mi a godais ar fy nhraed, ac a wrandewais, ac wele lef yn llefaru, ai swn ydoedd fel swn llawer o ddyfroedd.

18 A hi a ddywedodd, Wele, y dyddiau sydd yn dyfod, y dechreuaf nesau i ymweled â phreswylwŷr y ddaear,

19 Ac y dechreuaf ymofyn am danynt hwy, pa beth ydynt hwy a wnaethant niweid yn anghyfiawn â'u hanghyfiawnder? a pha bryd y cyflawnir cystudd Sïon?

20 A phan § selier y byd yr hwn a ddechreu fyned heibio, yna y gwnaf fi yr arwyddion hyn: Y llyfrau a agorir o flaen y ffurfafen, a phawb a gaiff weled ar unwaith. — *§ ddiwedder.*

21 A phlant blwyddiaid a lefarant â'u lleferydd; gwragedd beichiogion a esgorant ar blant cyn eu hamser ar ben y trimis neu'r pedwar-mis, a byw fyddant, a chyfodir hwynt i fynu.

22 Ac yn ddisymmwth yr ymddengys y mannau a hauwyd, fel y mannau ni's hauwyd, a'r celloedd llawn a geir yn wag yn ddisymmwth.

23 [b] A'r udgorn a gân, a phawb pan ei clywant, a ofnant yn ddisymmwth. — *b 1 Cor. 15. 52.*

24 A'r pryd hynny yr ymladd cyfeillion â'u gilydd fel gelynion, a'r ddaear a ofna a'r rhai a drigant ynddi, a llygaid y ffynhonnau a safant, ac ni redant dros dair awr.

25 A phwy bynnag a ddïango rhag y pethau hyn oll a ddangosais i ti, a fydd cadwedig, ac a gaiff weled fy iechydwriaeth, a diwedd eich byd chwi.

26 Y rhai a dderbyniwyd a welant, y rhai ni phrofasant angau er pan eu ganwyd hwynt: a chalon y preswylwŷr a newidir, ac a droir i feddwl arall.

27 Canys bwrir ymaith ddrygioni, a diffoddir twyll.

28 A ffydd a flagura; a llygredigaeth a orchfygir; gwirionedd yr hon a fu cyhyd yn ddiffrwyth, a ddangosir.

29 A phan ymddiddanodd efe â myfi, wele, mi a edrychais bob ychydig ac ychydig ar yr hwn yr oeddwn i yn sefyll ger ei fron.

30 Ac efe a ddywedodd y geiriau hyn wrthyf, Mi a ddaethum i ddangos it' amser y nos sydd yn dyfod.

31 Os tydi a weddii etto ychwaneg, ac a ymprydi saith niwrnod drachefn, myfi a fynegaf i ti liw || dydd, fwy nag a glywais. — *|| Gwel Pen. 13. 52.*

32 Canys y Goruchaf a glywodd dy leferydd, y Galluog a welodd dy uniondeb, ac a welodd y diweirdeb oedd gennyt o'th ieuengctid.

33 Ac am hynny efe a'm hanfonodd i ddangos it' y pethau hyn oll, ac i ddywedyd wrthyt; Bydd gysurus, ac nac ofna.

34 Ac na phrysura gyd â'r amseroedd a aeth heibio, i feddwl oferedd, fel na phrysurech oddi wrth yr amseroedd diwaethaf.

35 Ac yn ol hyn yr wylais drachefn, ac yr ymprydiais saith niwrnod eraill, fel y gallwn gyflawni'r tair wythnos a ddywedasai efe wrthyf.

36 A'r wythfed nos yr oedd fy nghalon yn flin o'm mewn drachefn, a mi a ddechreuais lefaru ger bron y Goruchaf.

37 Canys fy yspryd a ennynnodd yn ddirfawr, a'm henaid oedd mewn caledi.

38 A mi a ddywedais, O Arglwydd, ti a ddywedaist o ddechreu y creadigaeth, y dydd cyntaf, gan ddywedyd fel hyn,
c Gen. 1. 1. [c] Gwneler nef a daear. A'th air a aeth yn waith perffaith.

39 A'r amser hwnnw yr ydoedd yr Yspryd, a'r tywyllwch oedd o amgylch, a distawrwydd; a sain lleferydd dyn nid oedd wedi ei lunio etto.

40 Yna y gorchymynaist i oleuni disglair ddyfod allan o'th drysorau, fel yr ymddangosai dy waith di.

41 Yr ail dydd y gwnaethost yspryd y ffurfafen, a gorchymynaist iddo ef ymrannu, a gwneuthur dosparth rhwng y dyfroedd, fel y gallai 'r naill ran fyned i fynu, a'r rhan arall aros i waered:

42 A'r trydydd dydd y gorchymynaist i'r dyfroedd ymgasglu yn seithfed ran y ddaear; chwe rhan a sychaist ac a gedwaist, fel y byddai i rai o'r rhain, wedi eu plannu gan Dduw a'u llafurio, dy wasanaethu di.

43 Canys cyn gynted ag yr aeth dy air di allan, yr oedd y gwaith wedi ei wneuthur.

44 Canys yn ddisymmwth yr oedd ffrwyth mawr ac aneirif, a llawer ac amryw felusdra i'r blas, a llysiau o ddigoll liwiau, ac aroglau o arogl rhyfeddol. A hyn a wnaethpwyd y trydydd dydd.

d Gen. 1. 14. 45 [d] Y pedwerydd dydd y gorchymynaist i'r haul dywynnu, ac i'r lleuad lewyrchu, ac i'r ser fod mewn trefn.

e Gen. 1. 15. Deut. 4. 19. 46 A gorchymynaist iddynt [e] wasanaethu'r dyn, yr hwn oedd i'w wneuthur.

f Gen. 1. 20. 47 A'r pummed dydd y dywedaist wrth y seithfed ran, [f] lle yr ydoedd y dyfroedd wedi ymgasglu ynghyd, am iddi ddwyn creaduriaid byw, adar, a physgod: ac felly y bu.

48 Y dwfr mud, ac heb fywyd ynddo, wrth amnaid Duw, a ddygodd bethau byw, fel y gallai pob cenedl foliannu dy weithredoedd rhyfedd di.

49 Yna ti a ordeiniaist ddau greadur byw; y naill a elwaist † Enoch, a'r llall Lefiathan. † Behemoth.

50 A didolaist y naill oddi wrth y llall: canys y seithfed ran, lle yr ydoedd y dyfroedd wedi ymgynnull, ni's gallai eu dal hwynt ill dau.

51 A thi a roddaist i Enoch y naill ran, yr hon a sychwyd y trydydd dydd, fel y gallai efe aros yno, lle y mae mil o fryniau.

52 Ond i Lefiathan y rhoddaist y seithfed ran, yr hon sydd wlyb, a chedwaist ef i'w ddifetha gan y neb a fynnech, a phan fynnech.

53 A'r chweched dydd y gorchymynaist i'r ddaear ddwyn allan o'th flaen di, anifeiliaid, bwystfilod, ac ymlusgiaid:

54 Ac ar ol y pethau hyn Adda hefyd, yr hwn a ordeiniaist yn dywysog ar dy holl greaduriaid, ac o hono ef y daethom ni oll, a'r bobl a ddewisaist ti hefyd.

55 Hyn oll a ddywedais ger dy fron di; O Arglwydd, am i ti wneuthur y byd er ein mwyn ni.

56 Am y bobl eraill, y rhai hefyd sydd yn dyfod o Adda, ti a ddywedaist nad ydynt ddim, ond eu bod yn debyg i boeryn; a thi a gyffelybaist eu golud hwy i ddefnyn yn syrthio oddi wrth lestr.

57 Am hynny yn awr, O Arglwydd, wele, y cenhedloedd hyn, y rhai a gyfrifwyd erioed megis diddym, a ddechreuasant arglwyddiaethu arnom ni, a'n difetha.

58 A ninnau dy bobl di, (yr hwn a elwaist yn gyntaf-anedig i ti, yn unig-anedig, a'r hwn a'th gâr di yn gu) a roddwyd i'w dwylaw hwynt.

59 Ac os gwnaethpwyd y byd er ein mwyn ni, paham nad ydym ni yn meddiannu etifeddiaeth gyd â'r byd? Pa hŷd y pery hyn?

## PEN. VII.

4 *Cyfyng yw'r ffordd.* 12 *Pa bryd y gwnaed hi yn gyfyng.* 28 *Y bydd marw pawb ac y cyfodant drachefn.* 33 *Yr eistedd Crist i farnu.* 46 *Na wnaeth Duw Baradwys yn ofer,* 62 *a'i fod yn drugarog.*

A Phan ddarfu i mi ddywedyd y geiriau hyn, danfonwyd attaf yr Angel a ddanfonasid attaf y nosweithiau o'r blaen:

2 A dywedodd wrthyf, Cyfod, Esdras, a gwrando'r geiriau y daethum i'w mynegi i ti.

3 A dywedais innau, Dywed, fy Nuw. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Y môr a osodwyd mewn lle eang, fel y byddo efe yn ddwfn, ac yn fawr.

4 Eithr bwrw fod mynediad cyfyng i mewn iddo, ac yn debyg i afon:

5 Pwy wrth hynny allai fyned i'r môr i edrych arno ef, ac i'w lywodraethu ef? Os efe nid ai trwy 'r lle cyfyng, pa fodd y gallai efe ddyfod i'r lle eang?

6 Hefyd drachefn; Dinas a adeiladwyd ac a osodwyd ar faes gwastad, ac y mae hi yn llawn o bob peth da.

7 Y mynediad i mewn iddi sydd gul, wedi ei osod mewn lle ‡ enbyd i syrthio; fel pe ‡ dibyn.
byddai dân ar y llaw ddeheu, a dwfr dwfn ar y llaw aswy,

8 Ac un llwybr yn unig rhyngddynt ill dau, sef rhwng y tân a'r dwfr, *cyn lleied* ag na's gall ond un dyn fyned yno ar unwaith.

9 Yr awr hon, pe rhoddid y ddinas hon i wr yn etifeddiaeth, os efe nid â fyth trwy 'r perygl a osodwyd o'i blaen hi, pa fodd y derbyn efe 'r etifeddiaeth hon?

10 A dywedais, Felly y mae, Arglwydd. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Felly hefyd y mae rhan Israel.

11 Canys er eu mwyn hwy y gwnaethum i'r byd: a phan dorrodd Adda fy nghorchymynion i, yna yr ordeiniwyd y peth sydd yn awr wedi ei wneuthur.

12 Yna y gwnaethpwyd mynediadau i mewn i'r byd hwn yn gyfyng, yn llawn tristwch a llafur; yn ychydig, yn ddrwg, yn llawn perygl a phoen.

13 Canys dechreuad y byd § hynaf oedd § mawr.
eang a diberygl, ac yn dwyn ffrwyth anfarwol.

14 Gan hynny os y rhai sy fyw nid ymegniant i fyned i mewn trwy 'r cyfyng a'r ofer bethau hyn, ni's gallant byth dderbyn y pethau a roddwyd i gadw iddynt.

15 Wrth hynny paham y'th aflonyddi dy hun, gan dy fod yn llygredig? a phaham y cynhyrfi, gan dy fod yn farwol?

16 Paham nad wyt yn ystyried yn dy galon y peth sydd i ddyfod, yn hytrach na'r peth sydd bresennol?

17 Attebais innau, a dywedais, O Arglwydd lywydd, wele, ti a ordeiniaist trwy
dy [a] gyfraith i'r rhai cyfiawn etifeddiannu 'r a Deut. 8. 1.
pethau hyn, ac i'r anghyfiawn fethu.

18 Er hynny y cyfiawn a ddioddefant gyfyngder, ac a obeithiant ehangder: a'r sawl a wnaeth anghyfiawnder a ddioddefasant gyfyngder, ac ni chânt weled ehangder.

19 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Nid oes farnwr uwch law Duw, na neb yn deall yn well nâ'r Goruchaf.

20 Canys llawer a gollir yn y bywyd hwn, o achos dïystyru cyfraith Dduw, yr hon sydd wedi ei gosod o'u blaen hwynt.

21 Canys gan orchymyn y gorchymynodd Duw i'r rhai a ddaeth, ïe fel y daethant, pa beth a wnaent i fyw, a pha beth a gadwent, fel na's ceryddid hwynt.

22 Er hynny nid ufuddhasant iddo ef, ond dywedyd a wnaethant yn ei erbyn ef, a meddwl oferedd.

23 A chan eu hamgylchu eu hun â'u beiau, hwy a ddywedasant am y Goruchaf nad oedd efe, ac ni adnabuant ei ffyrdd ef;

24 Ond ei gyfraith ef a ddïystyrasant, a gwadasant ei gyfammodau ef, ac ni buant ffyddlon yn ei gyfreithiau ef, ac ni chyflawnasant ei weithredoedd ef.

25 Am hyn, Esdras, i'r gwag y mae'r pethau gweigion, ac i'r llawn y pethau llawnion.

26 Ac wele, yr amser a ddaw, y cyflawnir yr arwyddion a ddywedais i ti, a'r brïodasferch a ymddengys, a hi a welir yn dyfod allan, yr hon sydd yn awr wedi ei thynnu oddi ar y ddaear.

27 A phawb a'r a ddïango oddi wrth y drygioni uchod a gaiff weled fy rhyfeddodau i.

28 Canys fy mab Jesu, a'r rhai sydd gyd ag ef, a ddatguddir; a'r rhai a adewir a lawenychant o fewn pedwar cant o flynyddoedd.

29 Yn ol y blynyddoedd hyn y bydd marw fy mab Crist, a phob dŷn byw.

30 A'r byd a droir i'r hen ddistawrwydd saith niwrnod, fel yn y † barnedigaethau cyntaf: fel na adawer neb.

† *dechreuad.*

31 A digwydd yn ol saith niwrnod, y cyfodir y byd hwn sydd etto heb ddeffro, a'r peth llygredig a fydd marw.

32 A'r ddaear a ddyry drachefn y rhai sydd yn cysgu ynddi, a'r llwch y rhai sydd yn aros ynddo mewn distawrwydd; a'r celloedd, yr eneidiau a roddwyd iddynt hwy.

33 A cheir gweled y Goruchaf ar orseddfaingc barn, a phob trueni a â ymaith, a dïoddefgarwch a gaiff ddiben.

34 Ond barn yn unig a erys, y gwirionedd a saif, a ffydd a grythâ:

35 A'r weithred a ganlyn, a'r gwobr a ddangosir, a'r gweithredoedd da a fyddant mewn grym, a gweithredoedd drwg ni lywodraethant.

36 A mi a ddywedais, Yn gyntaf [b] Abraham a weddïodd dros y Sodomiaid, a [c] Moses dros y tadau a bechasant yn yr anialwch;

37 A Jesus ar ei ol yntau dros Israel yn amser ‡ Achan;

38 A Samuel, a [d] Dafydd dros y dinystr, a [e] Salomon dros y rhai oedd i ddyfod i'r Cyssegr;

39 A [f] Helïas dros y rhai a gawsant eu glaw, a thros y marw, er cael o hono fyw;

40 Ac [g] Ezechïas dros y bobl yn amser Senacherib, a llawer dros laweroedd.

[b] Gen. 18. 23.
[c] Exod. 32. 11.
‡ *Achor.*
[d] 2 Sam. 24. 17.
[e] 2 Chron. 6. 14.
[f] 1 Bren. 17. 21. a 18. 42, 45.
[g] 2 Bren. 19. 15.

41 Felly yn awr gan fod llygredigaeth wedi tyfu, ac anwiredd wedi amlhâu, a gweddïo o'r cyfiawn dros yr annuwiol; paham na bydd felly yr awr hon hefyd?

42 Ac efe a'm hattebodd, gan ddywedyd, Nid y bywyd presennol hwn yw'r diwedd, lle mae gogoniant lawer yn aros: am hynny y gweddïasant dros y gweiniaid.

43 Eithr dydd y farn a fydd diwedd yr amser hwn, a dechreuad yr anfarwoldeb sydd i ddyfod, yn yr hwn y diflannodd pob llygredigaeth;

44 Y dibennwyd anghymedroldeb, y torrwyd ymaith anffyddlondeb, y tyfodd cyfiawnder, ac y blagurodd gwirionedd.

45 Y pryd hynny ni's gall neb achub yr hwn a gollwyd, na gorthrymmu'r neb a orchfygodd.

46 Ac mi a attebais, gan ddywedyd, Dyma 'r gair a ddywedais yn gyntaf, ac yn ddiwaethaf; mai gwell a fuasai na roddasid y ddaear i Adda, neu pan roddwyd hi, lestair iddo bechu.

47 Canys pa lesâd i ddynion fyw yn y byd presennol hwn mewn trymder, ac yn ol marwolaeth disgwyl am gospedigaeth?

48 O dydi Adda, pa beth a wnaethost? er [h] i ti bechu, nid yw hynny yn gwymp i ti dy hun yn unig, ond i ninnau oll, y rhai a ddaethom o honot ti.

[h] Rhuf. 5. 18.

49 Canys pa les i ni, os addawyd i ni amser tragywyddol, a ninnau wedi gwneuthur y gweithredoedd a ddygant i farwolaeth?

50 Ac er addo i ni obaith tragywyddol; ninnau wedi myned yn annuwiol iawn a wnaethpwyd yn ofer?

51 Ac er darparu i ni drigfannau iechyd a dïogelwch, a ninnau yn byw yn annuwiol?

52 Ac er darparu gogoniant y Goruchaf, i amddiffyn y rhai a fuant fyw yn § ddioddefgar, a ninnau yn rhodio ar hyd y ffyrdd annuwiolaf o gwbl?

§ *ddiwair.*

53 Ac er dangos i ni Baradwys a'i ffrwyth yn parhâu yn dragywyddol, yn yr hwn y mae ‖ dïogelwch a meddyginiaeth; a ninnau heb gael myned i mewn iddo?

‖ *amlder.*

54 (Canys rhodio a wnaethom mewn lleoedd anhawddgar.)

55 Ac er disgleirio o wynebau y rhai a arferasant ddirwest, yn oleuach nâ'r sêr, a'n hwynebau ninnau yn dduach nâ'r tywyllwch?

56 Canys tra fuom fyw, ac yn gwneuthur anwiredd, ni feddyliasom ni y caem ddioddef am hynny yn ol marwolaeth.

57 Ac efe a attebodd, gan ddywedyd, Dyma † ddull yr ymdrech a ymdrecha'r dŷn a aner ar y ddaear;

† *feddal.*

58 Fel os gorchfygir ef, y caffo ddioddef yr hyn a ddywedaist; ond os efe a orchfyga, y caffo dderbyn y peth a ddywedaf.

59 Canys hon yw'r einioes, am yr hon y dywedodd Moses, pan ddaeth efe at y bobl gan ddywedyd, [i] Dewis i ti einioes, fel y byddech byw.

[i] Deut. 30. 19.

60 Er hynny ni choeliasant ef, na'r prophwydi ar ei ol ef, na minnau chwaith, yr hwn a ddywedais wrthynt,

61 Na byddai y fath drymder yn eu dinystr hwy, ac y bydd llawenydd ar y rhai a berswadiwyd i iachawdwriaeth.

62 Mi a attebais, gan ddywedyd, Gwn, Arglwydd, mai trugarog y gelwir y Goruchaf, am iddo fod yn drugarog i'r rhai ni ddaethant etto i'r byd,

63 Ac yn drugarog wrth y rhai hefyd a droant at ei gyfraith ef;

64 A'i fod [k] yn ddioddefgar, ac yn hirymarhöus wrth y rhai a bechasant, megis wrth ei greaduriaid;

[k] Rhuf. 2. 4.

65 A'i fod yn hael, canys y mae yn barod i roddi, lle mae rhaid;

66 A'i fod yn fawr ei drugaredd; canys y mae yn amlhâu ei drugareddau fwy-fwy tu ag at y rhai presennol, a'r rhai a bassiodd, a'r rhai a ddaw.

67 Canys os efe ni amlhâ ei drugareddau, ni pharhaai y byd gyd â'r rhai a etifeddant ynddo.

68 Hefyd, efe a faddeu: canys oni wnai efe felly o'i ddaioni, fel y byddai i'r rhai a wnaethant anwireddau gael esmwythdra oddi wrthynt, ni fyddai fyw y ddeg filfed ran o ddynion.

69 Ac oni bai iddo ef (yr hwn sydd † farnwr) faddeu i'r rhai a † iachawd trwy ei air ef, a dilëu eu haml ‡ ymrysonion,

† grëwyd.
‡ ddichyrwygion.

70 Ysgatfydd ychydig iawn a adewid mewn lliaws aneirif.

## PEN. VIII.

*1 Llawer a grewyd, ac ychydig fydd cadwedig. 9 Y mae yn gofyn paham y mae Duw yn difetha ei waith ei hun; 26 ac yn gweddio Duw ar iddo edrych ar y bobl sydd yn ei wasanaethu ef yn unig. 41 Duw yn atteb nad yw pob had yn dyfod at Dduw: 52 Ac mae iddo ef a'i gyffelyb y darparwyd gogoniant.*

AC efe a'm hattebodd, gan ddywedyd, Y Goruchaf a wnaeth y byd hwn i lawer, ond y byd a ddaw i ychydig.

2 Esdras, dangosaf i ti gyffelybrwydd, fel pan ofynnech i'r ddaear, hithau a'th ettyb ei bod hi yn rhoddi llawer o bridd, o'r hwn y gwneir llestri pridd, ond ychydig o'r hwn y daw'r aur allan: felly y mae am waith y byd hwn.

a Matt. 20. 16.

3 ᵃ Llawer a wnaethpwyd, ond ychydig a fydd cadwedig.

4 Yna yr attebais, gan ddywedyd, O fy enaid, llwngc di synwyr, a thraflyngca ddeall:

5 Canys cyttunaist i wrando, ac ewyllysgar ydwyt i brophwydo: canys nid oes i ti ysbaid hŵy nag yn unig i fyw.

6 O Arglwydd, oni roddi di gennad i'th was i erfyn arnat, † ar i ti roddi had i'n calon, a llafur-waith i'n deall, fel y dêl ffrwyth o hono; pa fodd y gall pob dŷn llygredig fyw, a'r y sydd yn dwyn lle dŷn?

† oni roddi, &c.

7 Canys ti wyt unig, a ninnau oll ydym waith dy ddwylaw di, fel y dywedaist.

8 Canys ‡ pan lunier y corph ynghroth y fam, a phan roddech aelodau iddo, dy greadur a gedwir mewn tân a dwfr, a naw mis y dioddef dy waith dy greadur a luniwyd ynddi.

‡ pa fodd y lunir y corph?

9 Ond y peth sydd yn cadw, a'r peth a gedwir, a ddiangant ill dau: a phan ddelo'r amser, y groth a gadwed a ddyry'r pethau a dyfodd ynddi.

10 Canys ti a orchymynaist allan o aelodau'r corph, sef o'r bronnau, roddi llaeth, yr hwn yw ffrwyth y bronnau.

11 Fel y gallo'r peth a luniwyd gael ei fagu dros amser, hyd oni threfnech ef i'th drugaredd.

12 Megaist ef trwy dy gyfiawnder, meithrinaist ef yn dy gyfraith, a cheryddaist ef â'th farn.

13 A thi a'i marwoleithi ef fel dy greadur, ac a'i bywhei ef fel dy waith.

14 Os distrywi gan hynny y peth a luniwyd trwy gymmaint o ᵇ boen, wrth dy orchymyn di, hawdd oedd gadw y peth a wnaethpwyd.

b Job 10. 8. — Psal. 139. 14, &c.

15 Gan hynny, Arglwydd, mi a lefaraf (am bob dŷn yn gyffredinol goreu y gwyddost ti) am dy bobl di, dros y rhai yr ydwyf yn drist;

16 Ac am dy etifeddiaeth, dros y rhai yr ydwyf yn galaru; ac am Israel, am yr hwn yr ydwyf yn drist: ac am Jacob, er mwyn yr hwn y'm trallodir.

17 Am hynny y dechreuaf weddïo ger dy fron di drosof fy hun, a throstynt hwythau: canys mi a welaf ein § beiau ni, y rhai sy'n trigo yn y wlad.

§ cwympau.

18 Ond mi a glywais gyflymdra'r barnwr sydd yn dyfod.

19 Am hynny gwrando fy lleferydd, a deall fy ngeiriau, a pharablaf ger dy fron di. Dyma ddechreu geiriau Esdras cyn ei gymmeryd ef i fynu. A mi a ddywedais.

20 O Arglwydd, tydi'r hwn ydwyt yn preswylio mewn tragywyddoldeb, yr hwn wyt o'r uchelder yn gweled pethau yn y nefoedd ac yn yr awyr;

21 Eisteddle'r hwn ni's gellir ei phrisio; a'i ogoniant ni's gellir ei gynnwys, o flaen yr hwn y mae'r lluoedd Angylion yn sefyll dan gryniu,

22 (ᶜ Gwasanaeth y rhai sydd mewn gwynt a thân) yr hwn y mae ei air yn wir, a'i ymadroddion yn ddianwadal; yr hwn y mae ei orchymyn yn gadarn, a'i ordinhad yn ofnadwy;

c Psal. 104. 4. Heb. 1. 7.

23 Yr hwn y mae ei olwg yn sychu'r dyfnder, a'i ddigllonedd yn gwneuthur i'r mynyddoedd doddi; i'r hyn y mae y gwirionedd yn dwyn tystiolaeth;

24 O gwrando weddi dy was, ac ystyria â'th glustiau ddeisyfiad dy greadur.

25 Canys tra fyddwyf byw y llefaraf, a thra medrwyf ddeall yr attebaf.

26 Nac edrych ar bechodau dy bobl; ond ar y rhai sy yn dy wasanaethu mewn gwirionedd:

27 Na phrisia am ddrwg amcanion y cenhedloedd; ond ar ddymuniad y rhai sy'n cadw dy dystiolaethau mewn cystuddiau:

28 Na feddwl am y rhai a rodiodd yn fluantus ger dy fron di; ond cofia'r rhai yn ol dy ewyllys a adnabuant dy ofn di:

29 Nac ewyllysia ddifetha'r rhai a ymddygasant yn anifeiliaidd; ond edrych ar y rhai a ddysgasant dy gyfraith di yn berffaith:

30 Na chymmer ddigofaint wrth y rhai a gyfrifir yn waeth nag anifeiliaid; ond câr di y rhai a ymddiriedant yn wastadol yn dy gyfiawnder a'th ogoniant di.

31 Canys yr ydym ni a'n tadau ‖ yn nychu o gyfryw glefydau; eithr o'n hachos ni bechaduriaid y gelwir di yn drugarog.

‖ yn gleifion.

32 Canys od oes ewyllys gennyt i drugarhâu wrthym, fe a'th elwir yn drugarog, sef wrthym ni, y rhai sy heb weithredoedd cyfiawnder.

33 Canys y cyfiawn, y rhai sy ganddynt lawer o weithredoedd da ynghadw gyd â thi, o'u gweithredoedd eu hun a dderbyniant wobr.

34 Ond pa beth yw dŷn i ti i ddigio wrtho; neu pa beth yw cenhedlaeth lygredig, i ti fod mor chwerw wrthi?

35 ᵈ Canys yn wir nid oes un ym mhlith y rhai a aned heb wneuthur drygioni, ac nid oes un ym mhlith y rhai cyfiawn heb wneuthur ar fai.

d 1 Bren. 8. 46. 2 Chron. 6. 36.

36 Canys yn hyn, O Arglwydd, y dangosir dy gyfiawnder a'th ddaioni di, os byddi drugarog wrth y rhai nid oes ganddynt † olud o weithredoedd da.

† hyder ar.

37 Yna y'm hattebodd, gan ddywedyd, Peth a ddywedaist yn dda, a hynny a gyflawnir yn ol dy eiriau.

38 Canys yn wir nid ystyriaf weithredoedd y rhai a bechasant cyn marwolaeth, cyn barn, cyn distryw:

[e] Gen. 4. 4. 39 Ond [e] mi a lawenychaf am weithredoedd a meddyliau 'r cyfiawn, ac a gofiaf eu pererindod hwy, a'r iachawdwriaeth a'r gwobr a gânt.

40 Fel y dywedais yn awr, felly y digwydd.

41 Canys fel y mae'r llafurwr yn hau llawer o had ar y ddaear, ac yn plannu llawer o brennau, ac etto nid yw y peth a hauwyd yn dda yn ei amser yn dyfod i fynu, na'r cwbl a'r a blannwyd yn gwreiddio; felly y mae am y rhai a hauwyd yn y byd, ni byddant oll gadwedig.

42 Yna yr attebais, ac y dywedais, Os cefais ras, gad im' lefaru.

43 Fel y mae had y llafurwr yn colli, oni ddaw efe i fynu, ac oni dderbyn y gwlaw mewn amser cyfaddas; neu os daw gormod gwlaw arno, a'i lygru ef:

44 Felly hefyd y derfydd am ddyn, yr hwn a wnaeth dy ddwylaw di, ac a elwir dy ddelw di, am dy fod yn debyg iddo, er mwyn yr hwn y gwnaethost bob peth, a chyffelybaist ef i had y llafurwr.

45 Na fydd ddigllon wrthym, ond arbed dy bobl, a chymmer drugaredd ar dy etifeddiaeth dy hun: canys trugarog ydwyt wrth dy greadur.

46 Yna efe a'm hattebodd, gan ddywedyd, Y pethau presennol sy i'r rhai presennol, a phethau i ddyfod i'r rhai a ddaw.

[f] Pen. 5. 33. 47 Canys [f] y mae llawer i ti yn ol etto, fel y gallech garu fy nghreadur yn fwy nag yr wyf fi: ond mi a neseais lawer gwaith attat ti, ac atto yntau, ond ni *neseais* erioed at yr anghyfiawn.

48 Ac yn hyn hefyd yr ydwyt yn rhyfedd ger bron y Goruchaf;

49 Am i ti dy ddarostwng dy hun, fel yr oedd weddus i ti, ac ni's tybiaist dy hun yn deilwng i gael gogoniant mawr ym mhlith y rhai cyfiawn.

50 Canys llawer o drueni mawr sydd i'r rhai a erys yn y byd yn yr amser diweddaf, am iddynt rodio mewn balchder mawr.

51 Ond dysg di drosot dy hun, a chwilia am y gogoniant i'r rhai sydd debyg i ti.

52 Canys i chwi yr agorwyd paradwys, y plannwyd pren y bywyd, y darparwyd yr amser a ddaw, y parottôwyd helaethrwydd, yr adeiladwyd dinas, ac y caniatawyd gorphwysdra, ie daioni a doethineb perffaith.

53 Gwreiddyn drygioni a seliwyd i fynu rhagoch chwi, gwendid a gwyfyn a guddiwyd rhagoch, a llygredigaeth a ffodd i uffern i'w hanghofio.

54 Galar a aeth ymaith, a thrysor tragywyddoldeb a ddangosir yn y diwedd.

55 Ac am hynny nac ymofyn mwy am rifedi y rhai colledig.

56 Canys pan gawsant ryddid, hwy a ddibrisiasant y Goruchaf, diystyrasant ei gyfraith, a gwrthodasant ei ffyrdd ef.

57 Heb law hynny, hwy a fathrasant ei rai cyfiawn ef,

[g] Psal. 14. 1. a 53. 1. 58 Ac [g] a ddywedasant yn eu calonnau, Nid oes un Duw; a hynny er eu bod yn gwybod y bydd rhaid iddynt farw.

59 Canys fel y darparwyd i chwi y pethau a ddywedais, felly y darparwyd iddynt hwythau syched a llafur: canys nid oedd ei ewyllys ef, ddarfod am ddynion.

60 Onid y rhai a wnaethpwyd a halogasant Enw y neb a'u gwnaeth hwy, ac a fuant anniolchgar i'r hwn a ddarparodd iddynt fywyd?

61 Ac am hynny y mae fy marn i ger llaw.

62 Ni ddangosais i y pethau hyn i bawb, ond i ti, ac i ychydig cyffelyb i ti. Yna yr attebais, gan ddywedyd,

63 Wele, Arglwydd, yn awr y dangosaist lïaws y rhyfeddodau, y rhai a ddechreui eu gwneuthur yn yr amserau diwaethaf: ond pa bryd, ni ddangosaist i mi.

## PEN. IX.

*7 Pwy a fydd cadwedig, a phwy ni bydd. 19 Y mae'r holl fyd yr awr hon yn llygredig: 22 Etto y mae Duw yn achub rhai. 30 Y mae'n achwyn fod y rhai a gadwant gyfraith Dduw yn cyfrgolli: 38 Ac yn gweled gwraig yn cwynfan yn y maes.*

YNA efe a'm hattebodd, gan ddywedyd, Mesura'r amser yn ddyfal ynddo ei hun: a phan welech y naill ran i'r arwyddion a ddangosais i ti o'r blaen, wedi dyfod,

2 Yna y cei ddeall, mai 'r gwir amser yw, yn yr hwn y dechreu'r Goruchaf ymweled â'r byd, yr hwn a wnaeth efe.

3 A phan weler [a] daear-grynfeydd, a [a] Matt. 24. 7.
chynnwrf pobl yn y byd,

4 Yna y cei yn ddiau ddeall, ddarfod i'r Goruchaf ddywedyd am y pethau hynny, ar yr amser a fu o'th flaen di, sef, o'r dechreuad.

5 Canys fel y mae i bob peth ar y sydd yn y byd, ddechreu a diwedd, a'r diwedd sydd eglur;

6 Felly y mae hefyd i amseroedd y Goruchaf eglur ddechreuad mewn rhyfeddodau a nerth, a diweddiad mewn gweithredoedd ac arwyddion.

7 A phob un a'r a gadwer, ac a allo ddïangc wrth ei weithredoedd, a'r ffydd, trwy 'r hon y credasoch,

8 A achubir oddi wrth y peryglon hynny, ac a gaiff weled fy iachawdwriaeth yn fy nhir i, ac yn fy nherfynau: canys sancteiddiais hwynt i mi o'r dechreuad.

9 Yna y bydd y rhai a gam-arferasant fy ffyrdd i mewn cyflwr gresynol; a'r sawl a'u taflodd hwynt ymaith yn ddïystyr, a gânt drigo mewn poenau.

10 Canys y rhai a dderbyniasant dyrnau da yn eu bywyd, ac ni's adnabuant fi;

11 A'r sawl a alarodd ar fy nghyfraith, tra ydoedd iddynt ryddid, a phan oedd iddynt etto le agored i edifarhâu, ni's deallasant, ond a'i diystyrasant;

12 Rhaid i'r rhai hynny gael ei wybod yn ol marwolaeth trwy boen.

13 Am hynny na ofala di pa fodd y cospir yr annuwiol, a pha bryd: ond ymofyn pa fodd y cedwir y cyfiawn y rhai biau'r byd, ac er mwyn y rhai y crëwyd y byd.

14 Yna yr attebais, gan ddywedyd,

15 Dywedais o'r blaen, ac yr wyf yn dywedyd, ac a'i dywedaf hefyd rhag llaw, fod mwy o'r rhai colledig nag o'r rhai cadwedig;

16 Fel y mae tòn yn fwy nâ defnyn.

17 Ac efe a'm hattebodd, gan ddywedyd, Fel y mae'r maes, felly y mae'r had; fel y mae'r llysiau, felly y mae eu lliwiau hefyd; fel y mae'r gweithiwr, felly y mae'r gwaith; † Ar yn
ac fel y mae'r llafurwr, felly y mae ei lafur awr, o
hefyd: canys amser byd ydoedd. herwydd dyfod am-
18 † Ac yr awr hon, pan ddarperais i'r ser y byd,
byd, yr hwn ni wnaethid etto, sef iddynt pan oeddwn i yn
hwy i drigo ynddo, y rhai sy yr awr hon yn darparu y
fyw, ni ddywedodd neb yn fy erbyn i. byd, &c.

19 Canys y pryd hynny pob un a ufudd-
hâi. † ond yn awr y mae moddau y rhai a
grëwyd yn y byd hwn a wnaethpwyd, wedi
eu llygru trwy had di-ball, a thrwy gyfraith
anchwiliadwy, yn eu rhyddhâu eu hunain.
20 Felly mi a ystyriais y byd, ac wele yr
ydoedd perygl, o herwydd y dychymygion
a ddaethant iddo ef.
21 A gwelais, ac a'i harbedais ef yn ddir-
fawr, a chedwais i mi un gronyn o'r swp, a
phlanhigyn o genedl fawr.
22 Darfydded gan hynny am y lliaws a
anwyd yn ofer, a bydded fy ngronyn a'm
planhigyn yn gadwedig: canys trwy boen
fawr y gwneuthum ef yn berffaith.
23 Er hynny os gorphwysi saith niwrnod
etto ychwaneg; ond nac ymprydia yn-
ddynt;
24 Eithr dos i faes o lysiau, heb dŷ arno,
a bwytta yn unig o lysiau'r maes; na
phrawf gig, nac yf win, ond bwytta lysiau
yn unig;
25 A gweddïa ar y Goruchaf yn wa-
stadol; yna mi a ddeuaf i ymddiddan â
thi.
26 Felly mi a aethum ymaith i'r maes a
elwir Ardath, fel y gorchymynodd efe i mi,
ac yno yr eisteddais ym mysg y llysiau ac y
bwytteais lysiau'r maes; ar bwyd hwnnw
a'm digonodd.
27 Ym mhen y saith niwrnod mi a
eisteddais ar y glas-wellt, a'm calon oedd
yn flin o'm mewn, fel o'r blaen:
28 Ac mi a agorais fy ngenau, ac a dde-
chreuais ymddiddan â'r Goruchaf, gan ddy-
wedyd,
29 O Arglwydd, ti yr hwn wyt yn dy
ddangos dy hun i ni, tydi [b] a ddangoswyd
i'n tadau yn yr anialwch, mewn lle nid oes
neb yn ‡ sengi arno, mewn lle llwm, pan
ddaethant allan o'r Aipht;
30 Ac a leferaist, gan ddywedyd, Clyw
fi, O Israel; ac ystyria fy ngeiriau, tydi had
Jacob.
31 Canys wele fi yn hau fy nghyfraith
ynoch, a hi a ddwg ffrwyth ynoch, a
chwi a anrhydeddir ynddi yn dragywy-
ddol.
32 Ond ein tadau y rhai a dderbyniasant
y gyfraith, ni's cadwasant hi, ac ni chan-
lynasant dy ordeiniadau: ac er na ddiflan-
nai ffrwyth dy gyfraith: ac ni's gallai;
canys eiddot ti oedd:
33 Etto y neb a'i derbyniodd a gollwyd,
am na's cadwent y pethau a hauesid yn-
ddynt.
34 Ac wele, y mae arfer pan dderbynio
'r ddaear had, neu'r môr long, neu ryw
lestr fwyd neu ddïod, fod, pan ddarffo am y
peth yr hauwyd ef ynddo, neu y bwriwyd
ef iddo,
35 I'r peth hwnnw hefyd a hauwyd, neu
a fwriwyd ynddo, neu a dderbyniwyd,
ddarfod am dano, a bod heb aros gyd â ni:
ond gyd â ni nid felly y digwyddodd.
36 Canys nyni, y rhai a dderbyniasom y
gyfraith, a gollir trwy bechod, a'n calon
hefyd yr hon a'i derbyniodd hi.
37 Er hynny ni dderfydd am y gyfraith,
ond aros y mae hi yn ei grym.
38 A phan ddywedais y pethau hyn yn
fy nghalon, mi a edrychais o'm hol, ac ar
fy llaw ddehau y gwelwn [c] wraig yn galaru,
yn gweiddi yn uchel, ac yn drom ei chalon:
a'i dillad wedi rhwygo, a lludw oedd ganddi
ar ei phen.

† ond pan wnaethpwyd y byd, yn awr a'r pryd hynny hefyd, moddau pob un creedig a lygrwyd trwy ddi-ball gynhaugl, a chyfraith anchwiliadwy.

[b] Exod. 19. 9. a 24. 3. Deut. 4. 12.

‡ dyfod.

[c] Pen. 10. 44.

39 Yna y bwriais y meddyliau oedd gen-
nyf o'r blaen heibio, ac a droais atti hi,
40 Ac a ddywedais wrthi, Paham yr
wyt ti yn wylo? a phaham yr ydwyt mor
drist dy galon?
41 A hi a ddywedodd wrthyf, Arglwydd,
gad fi yn llonydd, fel y gallwyf alaru drosof
fy hun, a chwanegu fy ngalar; canys wyf
yn drist iawn fy nghalon, ac wedi fy nwyn
yn isel iawn.
42 A mi a ddywedais wrthi, Beth a ddarfu
i ti? dywed i mi.
43 Hithau a ddywedodd wrthyf, Myfi dy
wasanaeth-wraig a fum hesb, ac heb blanta,
er bod i mi wr ddeng mlynedd ar hugain.
44 A'r deng mlynedd ar hugain hyn, yr
ydwyf yn gweddïo nos a dydd, a phob awr,
ar y Goruchaf.
45 Ar ben y deng mlynedd ar hugain,
Duw a'm gwrandawodd i dy wasanaeth-
wraig, efe a edrychodd ar fy nghystudd,
efe a ystyriodd fy mlinder, ac a roddes i mi
fab: a mi a fum lawen am dano ef, ac felly
yr oedd fy ngwr hefyd, a'm holl gymmy-
dogion, ac ni a roisom anrhydedd mawr i'r
Goruchaf.
46 A mi a'i megais ef trwy boen fawr.
47 Felly pan dyfodd efe, a dyfod i oedran
gwreicca, mi a wneuthum wledd.

## PEN. X.

1 *Y mae'n cysuro'r wraig a welodd efe yn cwynfan yn y maes:* 24 *Hithau yn diflannu o'i olwg ef, a dinas yn ymddangos yn ei lle hi.* 40 *Yr Angel yn dangos beth yw'r gweledigaethau hyn yn y maes.*

AC felly y digwyddodd i'm mab pan aeth
efe i'w ystafell briodas, efe a syrthiodd
i lawr, ac a fu farw.
2 Yna ni oll a ddiffoddasom y canhwy-
llau, a'm holl gymmydogion a godasant i
fynu i'm cysuro i; yna y gorphwysais i hyd
y nos yr ail dydd.
3 A phan ddarfu iddynt hwy holl beidio
â'm cysuro, fel y cawn lonydd; yna y cyf-
odais o hŷd nos, ac y ffoais, ac a ddaethum
i'r maes hwn, fel y gweli di.
4 Ac y mae yn fy mryd nad elwyf yn fy
ol i'r ddinas, ond aros yma, heb na bwytta
nac yfed, ond galaru yn wastadol, ac ym-
prydio, hyd oni byddwyf farw,
5 Yna y gollyngais ymaith † y myfyrdod
oedd ynof, ac a leferais wrthi hi yn ddigllon,
gan ddywedyd,
6 Tydi ffolog uwch law pawb eraill, oni
weli di ein galar ni, a pha beth a ddigwydd
i ni?
7 Fel y mae Sïon ein mam ni yn llawn
tristwch, ac fel y dygwyd hi hyd lawr, ac y
mae hi yn galaru yn anianol?
8 Gan ein bod ni oll yn awr mewn trym-
der ac yn cwyno, canys trist ydym oll; wyt
ti cyn drymmed ar el un mab?
9 Gofyn i'r ddaear, a hi a ddywed i ti,
mai hi a ddylai alaru am gwymp cymmaint
ag y sydd yn tyfu arni.
10 Canys o'r dechreuad, pob dŷn a ddaeth
o honi hi, ac o honi y daw yr holl rai eraill
ac wele y maent oll agos yn rhodio i ddis-
tryw, a'r lliaws o honynt a ‡ ddadwreiddir.
11 Pwy wrth hynny a ddylai alaru mwy
nag y hi, yr hon a gollodd gymmaint o ri-
fedi? ac nid tydi'r hon nid wyt yn drist
ond am un?
12 Ond pe dywedit wrthyf, Nid yw fy
ngalar debyg i alar y ddaear: canys mi a

† yr ymadroddion a leferais.

‡ ddileu.

a'r cyn-gnaif, y rhai a roddais i i'r Offeir-
iaid, sef meibion Aaron, *y rhai oedd yn*
*gweini* wrth yr allor.
7 Y degwm cyntaf mi a'i rhoddais i
feibion † Aaron, y rhai oedd weinidogion
yn Jerusalem: yr ail degwm mi a'i gwer-
thais, ac a euthum, ac a'i gweriais yn Jeru-
salem bob blwyddyn:

† Neu, *Lef.*

8 A'r trydydd mi a'i rhoddais i'r sawl y
gweddai, megis y gorchymynasai Debora
mam fy nhad i mi; canys gadawsid fi yn am-
ddifad o'm tad.
9 Wedi i mi ddyfod *mewn oedran* gwr, mi
a briodais Anna, gwraig [d] o dylwyth fy
nhad, ac a ynnillais o honi hi Tobias.

d Num. 36. 7.

10 A phan y'n caeth-gludwyd *yn garchar-*
*orion* i Ninife, fy holl frodyr, ac eraill o'm
cenedl, a fwyttasant [e] fara 'r cenhedloedd:
11 Er hynny myfi ‡ a'm cedwais fy hun
heb fwytta;

e Gen. 43. 32.
‡ Neu, *a gedwais fy enaid.*

12 Am fy mod yn meddwl am Dduw o
wir ewyllys fy nghalon.
13 A'r Goruchaf a roddes i mi ffafr a
hawddgarwch ger bron Enemessar, fel y
bum § oruchwiliwr iddo.
14 Felly mi a euthum i Media, ac a ade-
wais ddeg talent o arian yn llaw Gabael
brawd Gabrias, ‖ yn Rages dinas ym Me-
dia.

§ Gr. *brynwr.*
‖ Neu, *ynghylch,* neu, *yn nhir Media.*

15 Ac wedi marw Enemessar, Sennache-
rib ei fab a deyrnasodd yn ei le ef; yr hwn
† y rhwystrodd ei ffyrdd, fel na allais i
mwy ymdaith i dir Media.

† Neu, *yr oedd ei ffyrdd heb sefydlu.*

16 Eithr yn nyddiau Enemessar mi a
wneuthum lawer o elusenau i'm brodyr, ac
a roddais fy mara i'r newynog;
17 A'm dillad i'r noethion: ac os gwelwn
neb o'm cenedl wedi ei ladd, a'i fwrw ‡ yn-
ghylch muriau Ninefe, [f] mi a'i claddwn
ef.

‡ Neu, *y tu hwynt i furiau.*
f 2 Esd. 2. 23.

18 Ac os lladdai Sennacherib y brenhin,
wrth ddyfod ar [g] ffoi o Judea yr un, mi
a'i claddwn ef yn ddirgel: (canys llawer a
laddodd efe yn ei ddig) a phan geisiai 'r
brenhin y cyrph, ni byddent i'w cael.

g 2 Bren. 19. 35, 36. Esay 37. 36, 37. Eccles. 48. 18, 21. 1 Mac. 7. 41. 2 Mac. 8. 19.

19 Yna 'r aeth un o'r Ninefeaid, ac a
ddangosodd i'r brenhin fy mod i yn eu cla-
ddu hwynt, § a minnau a ymguddiais; a
phan wybum fod yn fy ngheisio i'm lladd,
mi a giliais ymaith rhag ofn.

§ *ac yn ymguddio.*

20 Yna y dygpwyd fy holl dda byd; ac
ni adawyd i mi ddim, ond Anna fy ngwraig,
a Thobias fy mab.
21 A chyn pen pymtheng niwrnod a deu-
gain, dau o'i feibion [h] a'i lladdasant ef, ac a
ffoisant i fynyddoedd Ararath. A ‖ Sarche-
donus ei fab a deyrnasodd yn ei le ef; ac a
osodes Achiacarus fab Anael fy mrawd *yn*
*olygwr* ar holl gyfrifon ei dad, ac ar ei holl
oruchwiliaeth.

h 2 Bren. 19. 37. 2 Chron. 32. 21.
‖ Neu, *Esarhaddon.*

22 Ac Achiacarus a eiriolodd drosofi,
oni chefais ddyfod *adref* i Ninefe: canys
gosodasai Sarchedonus Achiacarus yn nesaf
*iddo ei hun*; ac yr oedd efe yn drulliad, a
seinedydd, goruchwiliwr, a chyfrifydd iddo:
ac yr oedd efe yn nai fab brawd i min-
nau.

PEN. II.

Medi, 28. B.

1 *Tobit yn gadael ei fwyd i gladdu 'r marw,*
*10 ac yn myned yn ddall. 11 Ei wraig*
*ef yn cymmeryd gwaith i ynnill ei bywyd.*
*14 Ymrafael rhyngthi a'i gwr ynghylch*
*mynn.*

WEDI i mi ddyfod adref i'm tŷ fy hun,
a rhoddi i mi Anna fy ngwraig, a
Thobias fy mab; ar wyl y Pentecost, (yr
hon yw uchel-wyl y saith wythnos) y
gwnaethpwyd i mi ginio mawr.
2 Eithr pan eisteddais i fwytta, a gweled
amlder o fwyd, mi a ddywedais wrth fy
mab, Dos a chyrch pa ddyn tlawd bynnag
a gaffech o'n brodyr ni, ac sydd yn meddwl
am yr Arglwydd; ac wele, mi a arhosaf am
danat
3 Eithr efe a ddaeth drachefn, ac a ddy-
wedodd wrthyf, Fy nhad, y mae un o'n
cenedl ni wedi ei dagu, a'i fwrw allan i'r
heol.
4 Yna cyn profi dim bwyd, mi a neid-
iais ar fy nhraed, ac a'i dygum ef i dŷ, nes
machludo haul.
5 Ac wedi dychwelyd o honof, mi a ym-
olchais, ac a fwytteais fy mara yn athrist;
6 Gan feddwl am brophwydoliaeth [a] A-
mos, y modd y dywedasai efe; [b] Eich uchel-
wyliau a droir yn alar, a'ch llawenydd oll yn
gwynfan.

a Am. 8. 10.
b 1 Mac. 1. 39.

7 A mi a wylais. A phan fachludodd yr
haul, mi a euthum, ac a wneuthum fedd, ac
a'i cleddais ef.
8 A'm cymmydogion a'm gwatwarent, gan
ddywedyd, Onid ofna hwn etto ei angau?
[c] am y peth yma y ffodd efe unwaith; ac
wele, y mae efe eilchwyl yn claddu 'r meirw.

c Pen. 1. 19.

9 Ac ar y nos honno mi a ddychwelais o
gladdu, ac a gysgais, *wedi* ymhalogi, wrth
bared y neuadd, yn wyneb-noeth.
10 Heb wybod fod † adar y tô *yn aros*
yn y fagwyr, y rhai a fwriasant dail
twymyn yn fy llygaid, fel yr oeddynt yn
agored; ac felly y daeth y rhuchen ar fy
llygaid: ac er fy myned at feddygon, ni
wnaethant im' ddim lles. Ac Achiacarus
a'm porthodd i hyd onid euthum i Eli-
mais.

† Neu, *gwennoliaid.*

11 Ac Anna fy ngwraig a weithiai mewn
nydd-dai gwragedd.
12 A phan aeth hi a'r gwaith adref i'r
perchennogion, hwy a dalasant iddi ei chy-
flog, gan roddi mynn yn ychwaneg:
13 Yr hwn, pan ddaeth i'm tŷ i, a dde-
chreuodd frefu; yna y gofynnais iddi, O ba
le *y daeth* y myn yn? ai lladrad yw efe?
dod ef eilchwyl i'w berchennogion: [d] canys
nid cyfreithlon yw bwytta lladrad.

d Deut. 22. 1.

14 [e] A hithau a ddywedodd, Ei roi ef
a wnaethpwyd i mi gyd â'm cyflog. Etto
nid oeddwn i yn ei chredu, ond erchi ei
roddi ef i'w berchennogion; ac yr oedd
yn waradwydd gennyf drosti. Eithr hi a'm
hatteboddd, gan ddywedyd, Mae dy elusenau
di, a'th gyfiawnderau? wele, ‡ y maent
amlwg oll gyd â thi.

e Job 2. 9.
‡ Neu, *y mae pob peth yn amlwg i ti.*

PEN. III.

Medi, 28. P.

1 *Tobit yn flin gantho wawd ei wraig, ac yn*
*gweddio, 11 Sara wedi ei difenwi gan for-*
*wynion ei thad, yn gweddio hefyd. 17*
*Anfon Angel i'w cymmorth hwy ill dau.*

YNA 'r wylais yn athrist, ac a weddiais
mewn gorthrymder, gan ddywedyd,
2 Cyfiawn wyt, O Arglwydd, a chwbl
o'th weithredoedd a'th ffyrdd oll ydynt
drugaredd a gwirionedd; dy farn hefyd a
roddi yn uniawn, ac yn gyfiawn yn dragy-
wydd.
3 Cofia fi, ac edrych arnaf, ac na ddial
arnaf am fy mhechodau, nac am fy anwybod-
aeth, nac am yr eiddo fy hynafiaid, y rhai
a bechasant ger dy fron di.
4 O achos nad ufuddhaent i'th orchymyn-
ion, am hynny ti a'n rhoddaist ni [a] yn yspail,

a Deut. 28. 15, 37.

ac i gaethiwed, ac i angau, ac yn ddiareb
waradwyddus i'r rhai oll y'n gwasgarwyd ni
yn eu plith.
5 Ac yn awr llawer a chyfiawn yw dy
farnedigaethau: gwna â myfi yn ol fy mhe-
chodau, a *phechodau* fy hynafiaid; am na
chadwasom dy orchymynion, ac na rodia-
som yn y gwirionedd ger dy fron di.
6 Yr awr hon gan hynny gwna â myfi y
peth a fyddo cymmwys yn dy olwg di: par
gymmeryd fy yspryd oddi wrthyf, fel y'm
† Neu, *golyngér*, neu, *gwa-reder.* † dattoder, ac yr elwyf yn ddaear: canys
gwell i mi farw nâ byw, o achos y gwarth an-
wir a glywais, a'r mawr dristwch sydd arnaf.
Am hynny par fy ngollwng i yn rhŷdd o'r
cyfyngder yma, *i fyned* i le tragywyddol:
na thro dy wynebpryd oddi wrthyf.
7 A'r un dydd fe a ddigwyddodd i Sara
merch Raguel yn Ecbatane, *dinas* ym Me-
dia, gael ei gwaradwyddo gan forwynion ei
thad;
8 Sef ei rhoi hi i saith o wŷr, ac i Asmo-
dëus yr yspryd drwg eu lladd hwynt, cyn
bod iddynt a wnaent â hi yn ol arfer gwra-
gedd. Oni wyddost ti (meddynt) dagu o
honot ti dy wŷr? bu saith o wŷr i ti hyd
yn hyn, ac ni'th gyfenwyd yn ol yr un o
honynt.
9 Paham y'n curi ni am danynt? Os
meirw ydynt, dos genthynt, na welom byth
o honot na mab na merch.
10 A phan glybu hi y pethau hynny,
tristâu yn ddirfawr a wnaeth, fel *y meddyl-
iodd* ymdagu: ac etto hi a ddywedodd, Un
ferch fy nhad ydwyf; os gwnaf fi hyn, cy-
wilyddus fydd ganddo ef, a'i henaint a ddy-
gaf i'r bedd mewn gorthrymder.
11 Ac yna hi a weddïodd tu a'r ffenestr,
gan ddywedyd, Bendigaid wyt ti, O Ar-
glwydd fy Nuw, a bendigaid yw Enw sanc-
taidd dy ogoniant, ac anrhydeddus byth
bythoedd; molianned dy holl weithredoedd
dydi yn dragywydd.
12 Ac yr awrhon, O Arglwydd, y cyfeiriaf
fy llygaid a'm hwyneb attat,
13 Gan ddeisyf fy ngollwng yn rhŷdd
oddi ar y ddaear, fel na chlywyf waradwydd
mwyach.
14 Ti a wyddost, Arglwydd, fy mod yn
lân oddi wrth bob pechod gyd â gwr.
3294. 15 Ac na halogais fy enw, nac enw fy
nhad, yn nhir fy nghaethiwed. Un ferch
wyf i'm tad, ac nid oes ganddo blentyn i
fod yn etifedd iddo; nac un càr agos, na
mab iddo yn fyw, fel y cadwn fy hun yn
wraig iddo: ac wedi marw seithwr i mi, i ba
beth y byddwn i byw? Eithr oni rynga
bodd i ti fy lladd, pâr edrych arnaf, a thru-
garhàu wrthyf, fel na chlywyf waradwydd
mwyach.
16 A'u gweddïau hwy ill dau a wrandaw-
yd ger bron gogoniant y Duw mawr.
17 A Raphael a anfoned i iachàu'r ddau,
*sef* i dynnu'r rhuchen oddi ar lygaid Tobit,
ac i roddi Sara merch Raguel yn wraig i
Tobïas mab Tobit, ac i rwymo Asmodëus yr
yspryd drwg; o achos bod yn perthynu i
Tobïas o gyfiawnder ei chael hi. Yn y cy-
famser hwnnw y dychwelodd Tobit, ac yr
aeth efe i'w dŷ, a Sara merch Raguel a ddis-
gynnodd o'i 'stafell.

## PEN. IV.

Medi, 30. B 3 *Tobit yn rhoi addysg i'w fab Tobïas,* 20 *ac
yn dywedyd iddo am yr arian a adawsid
gyd â Gabael ym Media.*

YN y dydd hwnnw y meddyliodd Tobit
am [a] yr arian a roddasai efe at Gabael [a] Pen. 1.
yn Rages, *dinas* ym Media, 14.
2 Ac a ddywedodd wrtho ei hun, Mi a
ddeisyfais farw: eithr paham nad ydwyf yn
galw am Tobïas fy mab, fel y gallwyf † ei † *ddangos*
gynghori ef cyn fy marw? *iddo am yr*
3 Ac wedi *iddo* alw am dano ef, y dy- *arian.*
wedodd, Fy mab, pan fyddwyf marw,
cladd di fi, ac na ddïystyra dy fam, [b] eithr [b] Exod. 20.
anrhydedda hi holl ddyddiau dy einioes, a 12.
gwna'r peth a ryngo bodd iddi, ac na Eccles. 27.
thristâ hi.
4 Cofia, fy mab, ei bod hi mewn llawer o
beryglon, tra fuost yn ei bru hi. A phan
fyddo hi marw, cladd hi gyd â myfi yn yr
un bedd.
5 Fy mab, meddwl am yr Arglwydd ein
Duw ni yn dy holl ddyddiau; ac na ddod
dy fryd ar becho, na thorri ei orchymynion
ef. Gwna gyfiawnder tra fyddech byw, ac
na rodia yn ffyrdd anwiredd.
6 Canys os dilyni wirionedd, dy holl
weithredoedd a lwyddant i ti, ac i bawb a'r
a wnêl gyfiawnder.
7 [c] Dod elusen o'r peth a fyddo gennyt; [c] Dihar. 3.
ac na chynfigenned dy lygad wrth roddi 9.
elusen, ac na thro dy wyneb oddi wrth neb Eccles. 4. 1. a 14. 13.
tlawd; ac ni thrŷ wyneb Duw oddi wrthyt Luc 14. 13.
tithau.
8 [d] Fel y byddo gennyt yr amlder, dod o [d] Eccles. 35.
hono elusen; os ychydig fydd gennyt, o 10.
ychydig nac arswyda roi elusen:
9 Canys *felly* y trysori i ti dy hun wobr
daionus erbyn dydd yr anghenrhaid.
10 [e] Oblegid elusen a wared rhag angau, [e] Eccles. 29.
ac a lestair ddyfod i'r tywyllwch. 15.
11 O herwydd cêd ddaionus yw eluseni,
i bawb a'r a'i gwnêl, ger bron y Goruchaf.
12 Fy mab, gochel bob [f] godineb. Ac yn [f] 1 Thess. 4.
bennaf cymmer wraig o dylwyth dy hyna- 3.
fiaid; ac na chymmer estrones, yr hon nid
ydyw o lwyth dy dad. Canys plant y
prophwydi ydym ni, Noah, Abraham, Isaac,
*a* Jacob. Ein tadau o'r dechreuad, cofia fy
mab, iddynt oll brïodi gwragedd o'u cenedl
eu hun, a hwy a fuant ddedwydd yn eu
plant, a'u hil a etifedda'r ddaear.
13 Ac yr awrhon, fy mab, câr dy frodyr,
ac na fydded dïystyr gennyt yn dy galon
dy dylwyth, meibion a merched dy bobl, i
gymmeryd it' wraig o honynt: canys o ddïy-
styrwch y daw dinystr a dirfawr gythrwfl,
ac o drahausdra y daw prinder a mawr
eisiau: o herwydd trahausdra yw mam
newyn.
14 Nac attal gyd â thi [g] gyflog neb a'r a [g] Lef. 19.
wnaeth dy waith, eithr tâl iddo yn ebrwydd: 13.
ac os gwasanaethi di Dduw, ti a gei daledi- Deut. 24. 14, 15.
gaeth: edrych arnat dy hun, fy mab, yn dy
holl weithredoedd, a bydd ddïesgeulus ym
mhob tro a wnelych.
15 [h] Y peth sydd gas gennyt dy hun, na [h] Matt. 7.
wna i arall. Nac yf win hyd feddwdod, ac 12.
na fyn feddwdod gyd â thi i ymdaith. Luc 6. 31.
16 [i] Dod o'th fara i'r newynog, ac o'th [i] Luc 14.
ddillad i'r noeth: ac yn ol dy amlder [k] dod 13.
elusen, ac na fydd lygad-gynfigenus wrth [k] Matt. 6.
roi eluseni. 1.
17 Bydd helaeth o'th fara ar fedd y cyf- Adn. 8.
iawn, ac na ddod *ddim* i'r pechaduriaid.
18 Gofyn gyngor i bob un synhwyrol, ac
na wrthod un cyngor buddiol.
19 Mola'r Arglwydd dy Dduw bob am-
ser, a deisyf arno uniawnu dy ffyrdd, a
chwbl o'th lwybrau, a gwneuthur dy am-

canion yn llwyddiannus. Canys ni fedr pob
cenedl roddi cyngor: eithr yr Arglwydd ei
hun sydd yn rhoddi pob daioni, ac efe a
ddarostwng y neb a fynno, fel y mynno.
Yr awrhon gan hynny, fy mab, cadw i'th
gof fy ngorchymynion, ac na ddileer hwynt
o'th feddwl.
20 Ac yn awr yr ydwyf yn dangos it',
adael o honof fi ddeg talent o arian gyd â
Gabael mab Gabrias yn Rages, *dinas* ym
Media.
21 Ac nac ofna, fy mab, o ran ein my-
ned ni mewn tlodi: y mae i ti lawer od ofni
di Dduw, a gochelyd pechod, a gwneuthur
y peth a fyddo cymmeradwy yn ei olwg
ef.

## PEN. V.

4 *Tobïas ieuangc yn ceisio un i'w gyfeilly-
*ddo ef i Media; 6 ac Angel yn addaw*
*myned gyd ag ef. 12 ac yn dywedyd iddo,*
*mai câr iddo ydoedd. 16 Tobias a'r Angel*
*yn myned ymaith ynghŷd, 17 A'i fam yn*
*ddrwg ganthi ymadael â'i mab.*

YNA yr attebodd Tobïas, ac y dywed-
odd, Fy nhad, y cwbl oll a orchymy-
naist i mi, mi a'i gwnaf:
2 Eithr pa fodd y gallaf fi gael yr arian,
a minnau heb ei adnabod ef?
3 Yntau a roddes iddo yr ysgrifen law, ac
a ddywedodd wrtho, Cais i ti ryw un, yr
hwn, tra fyddwyf fi yn y byd, a elo gyd â
thydi, a myfi a dalaf gyflog iddo ef: a dos,
a derbyn yr arian.
4 Ac efe a aeth i geisio un *gyd ag ef*, ac a
gafodd Raphael, yr hwn oedd Angel.
5 Ac efe ni's gwyddai. Ac efe a ddywe-
dodd wrtho, A elli di fyned gyd â mi i
Rages? ac a adwaenost ti y lleoedd hynny
yn dda?
6 A'r Angel a ddywedodd wrtho, Mi a
âf gyd â thydi, ac mi a adwaen y ffordd yn
dda; canys mi a fum yn aros gyd â'n brawd
Gabael.
7 Yna Tobïas a ddywedodd wrtho, Aros
fi oni ddywedwyf i'm tad.
8 Ac efe a ddywedodd wrtho, Dos, ac na
thrig. Ac efe a aeth i mewn, ac a ddywe-
dodd wrth ei dad, Wele, mi a gefais un i
fyned gyd â mi. Yna y dywedodd yntau,
Galw ef attaf fi, modd y gallwyf wybod o ba
lwyth y mae efe, a hefyd a ydyw efe yn
ffyddlon i fyned gyd â thi.
9 Ac efe a alwodd arno: ac yntau a
ddaeth i mewn, ac yna y cyfarchasant eu
gilydd.
10 A Thobit a ddywedodd wrtho, Fy
mrawd, dangos i mi o ba lwyth a theulu yr
wyt yn dyfod.
11 Ac yntau a ddywedodd wrtho, Ai
llwyth neu deulu yr wyt yn ei geisio? ai
cyflog-ddyn i fyned gyd â'th fab? A Tho-
bit a'i hattebodd ef, Mi a ewyllysiwn, fy
mrawd, gael gwybod dy genedl a'th enw di.
12 Yntau a ddywedodd, Azarïas ydwyf
fi, fab Ananïas fawr, ac o'th frodyr di.
13 Yna y dywedodd Tobit, Croeso wrthyt,
fy mrawd: na ddigia wrthyf am i mi geisio
gwybod y llwyth a'r teulu y daethost o ho-
nynt. Canys, fy mrawd, yr wyt ti o dylwyth
onest a da. O achos mi a adwaen Ananïas a
Jonathas, meibion Samaias fawr; fel yr
oeddym yn myned ynghŷd i Jerusalem i
addoli, gan ddwyn gyd â ni y cynffrwyth, a
degwm cynnydd yr anifeiliaid: hwy ni
throseddasant yn amryfusedd ein brodyr ni.
Yr wyt ti o wreiddyn da, fy mrawd.
14 Ond dywed i mi, pa gyflog a roddaf i
ti: a fynni di ddrachmon beunydd, a chyf-
reidiau fel i'm mab fy hun.
15 A hefyd mi a 'chwanegaf at y cyflog,
os dychwelwch drachefn yn iach.
16 Ac felly y cyttunasant. Yna y dywe-
dodd efe wrth Tobïas, Ymdrwsia i'r daith;
a rhwydd-hynt i chwi. Ac wedi i'r mab
barottöi pob peth i'r daith, y dywedodd ei
dad wrtho, Dos gyd â'r gwr hwn, a Duw,
yr hwn sydd a'i drigfa yn y nef, a lwyddo
eich ffordd chwi, ac eled Angel Duw gyd â
chwi. Yna yr aethant ymaith ill dau, a
chi 'r llangc gyd â hwynt.
17 Eithr Anna ei fam ef a wylodd, gan
ddywedyd wrth Tobit, Paham yr anfonaist
ymaith ein mab? onid efe yw ffon ein llaw
ni, i fyned i mewn ac allan ger ein bronnau?
18 † Na fydd chwannog (i 'chwanegu) † *Na*
arian at arian, ond bydded fel sorod wrth *chwanneger*
ein plentyn. *arian, ond*
19 O herwydd yr hyn a roddes yr Ar- *bydded yn*
glwydd i ni i fyw, hynny *sy* ddigon i ni. *sorod i'n* *mab.*
20 A Thobit a ddywedodd wrthi, Na
chymmer ofal, fy chwaer, efe a ddaw yn ei
ol yn iach *lawen*, a'th lygaid di a'i gwelant ef.
21 Canys yr Angel daionus sydd yn cyd-
ymdaith ag ef; a'i ffordd ef a lwydda, ac
efe a ddaw eilchwyl yn iach *lawen*.
22 Yna hi a beidiodd ag wylo.

## PEN. VI.

1 *Yr Angel yn peri i Tobïas gymmeryd afu,* Medi, 30.
*a chalon, a bustl pysgodyn; 10 A phriodi* P.
*Sara merch Raguel; 16 Ac yn dysgu iddo*
*yrru 'r yspryd drwg ymaith.*

AC fel yr oeddynt yn ymdaith, hwy a
ddaethant yn yr hwyr i ymyl afon Ti-
gris, ac a arhosasant yno.
2 A'r llangc a aeth i wared i ymolchi, a
physgodyn a neidiodd o'r afon, ac a fynna-
sai ei lyngcu ef.
3 Eithr yr Angel a ddywedodd wrtho,
Cymmer afael yn y pysgodyn. A'r llangc a
ddaliodd y pysgodyn, ac a'i tynnodd i'r tir.
4 A'r Angel a ddywedodd wrtho, Agor
y pysgodyn, a chymmer y galon, a'r afu,
a'r bustl, a chadw *hwynt* yn ddiesgeulus.
5 A'r llangc a wnaeth y modd yr archasai
'r Angel iddo. Ac wedi iddynt rostio'r
pysgodyn, hwy a'i bwyttasant, ac a aethant
rhagddynt ill dau, oni ddaethant yn gyfa-
gos i Ecbatane.
6 A'r llangc a ddywedodd wrth yr Angel,
Fy mrawd Azarïas, i ba beth y mae calon,
ac afu, a bustl y pysgodyn yn dda?
7 Yntau a ddywedodd wrtho, Am y ga-
lon a'r afu, o bydd i gythraul neu yspryd
drwg flino neb, rhaid yw gwneuthur mwg o
honynt ger bron y gwr hwnnw, neu 'r wraig
honno, ac ni's blinir ef mwyach.
8 Ac am y bustl, *da yw* iro ag ef y dŷn
a fyddo a'r rhuchen ar ei lygaid, ac efe a
iachëir.
9 A phan ddaethant yn gyfagos i Rages,
yr Angel a ddywedodd wrth y llangc,
10 Fy mrawd, heddyw y llettŷwn ni gyd
â Raguel, yr hwn sydd gâr i ti. Ac y mae
iddo ef un unig ferch a elwir Sara: mi a
ddywedaf am dani, *sef* am ei rhoddi i ti yn
wraig.
11 [a] Canys i ti y mae ei hetifeddiaeth hi [a] Num. 27.
yn perthyn, a thydi yn unig sydd o'i che- 8. a 36. 8.
nedl hi.
12 Ac y mae hi yn llangces lân synhwy-
rol. Yn awr gan hynny gwrando fi, a

mi a ymddiddanaf â'i thad hi; a phan ddychwelom ni o Rages y gwnawn y neithior: o achos mi a wn na all Raguel ei rhoddi hi i neb arall yn ol cyfraith Moses, heb fod yn euog o angeu; am fod cyfiawnder yr etifeddiaeth yn perthyn i ti o flaen neb arall.

13 Yna y dywedodd y llangc wrth yr Angel, Fy mrawd Azarïas, mi a glywais roi'r llangces hon i saith o wŷr, a marw o honynt cymmain un yn yr ystafell brïodas.

14 Ac yr awrhon myfi yw unig *blentyn* fy nhad. ac yr ydwyf yn ofni, od awn i mewn *atti hi,* y derfydd am danaf, fel am y rhai o'r blaen; am fod cythraul yn ei charu hi, yr hwn nid yw yn gwneuthur niweid ond i'r rhai sydd yn dyfod atti hi: ac am hynny yr wyf yn ofni rhag fy marw, a dwyn einioes fy nhad a'm mam mewn tristwch i'w beddau; canys mab arall nid oes iddynt i'w claddu.

15 A'r Angel a ddywedodd wrtho, Onid cof gennyt eiriau dy dad, pan orchymynodd i ti gymmeryd gwraig o'th genedl dy hun? Ac *felly* yr awrhon gwrando, fy mrawd; a chymmer hi yn wraig i ti, ac nac arswyda mo'r cythraul: canys y nos heno y rhoddir hi i ti yn wraig.

16 Eithr pan ddelych i'r ystafell brïodas, cymmer † farwydos y per-aroglau, a dod beth o galon y pysgodyn, ac o'r afu arnynt, a gwnâ fwg-darth:

† *ludw.*

17 A'r yspryd a glyw'r arogl hwnnw, ac a ffŷ ymaith, ac ni ddychwel byth drachefn. Eithr pan ddelych atti hi, codwch eich dau, a gelwch ar y trugarog Dduw, ac efe a'ch gweryd chwi, ac a dosturia wrthych. Nac ofna; o herwydd i ti y darparwyd hi o'r dechreuad, a thi a'i gwaredi hi, a hi a ddaw gyd â thi: ac (yn fy nhyb i) ti a gei blant o honi. A phan glybu Tobias y pethau hyn, efe a rodd ei serch arni, a'i galon ef a lynodd yn ddirfawr wrthi hi.

## PEN. VII.

Hydref, 1. B. 11 *Raguel yn dywedyd i Tobias beth a ddigwyddasai i'w ferch.* 12 *Ac yn ei rhoi yn brïod iddo ef.* 17 *Ei dwyn hi i'w hystafell, a hithau yn wylo;* 18 *A'i mam yn ei chysuro hi.*

A Phan ddaethant i Ecbatane, hwy a aethant i dŷ Raguel: a Sara a gyfarfu â hwynt, ac a gyfarchodd iddynt, a hwythau iddi hithau, a hi a'u dug hwynt i'r tŷ.

2 Yna y dywedodd Raguel wrth Edna ei wraig; Mor debyg yw'r gwr ieuangc yma i'n cefnder Tobit!

3 A Raguel a ofynnodd iddynt, O ba le † eich hanyw, fy nrodyr? Yna y dywedasant wrtho, O feibion Nephthali, y rhai sydd gaethion yn Ninefe.

† *yr ydych.*

4 Yna y dywedodd efe wrthynt, A adwaenoch chwi Tobit ein brawd? A hwythau a attebasant, Adwaenom. Yna y dywedodd yntau wrthynt, A ydyw efe yn iach?

5 A hwy a ddywedasant, Y mae efe yn fyw, ac yn iach. A Thobïas a ddywedodd, Fy nhad i yw efe.

6 Yna Raguel a neidiodd *i fynu,* ac a'i cusanodd ef, ac a wylodd.

7 Ac a'i bendithiodd ef, gan ddywedyd wrtho, Yr wyt ti yn fab i wr onest, ac i wr da. Eithr pan glybu efe fyned Tobit yn ddall, tristâu a wnaeth, ac wylo.

8 Ac Edna ei wraig, a Sara ei ferch a wylasant. Ac *wedi hynny* eu croesawu hwy a wnaethant yn llawen, ac a laddasant faharen o'r defaid, ac a roddasant ger eu bronnau lawer o seigiau. Yna y dywedodd Tobïas wrth Raphael, Fy mrawd Azarïas, dywed am y pethau hynny a soniaist am danynt ar y ffordd, fel y gallo y peth ddyfod i ben.

9 Ac yntau a ddywedodd y chwedl wrth Raguel. A Raguel a ddywedodd wrth Tobïas, Bwytta ac ŷf, a gwna'n llawen,

10 Gweddus ydyw i ti gael fy merch i yn brïod. Etto mi a ddangosaf i ti'r gwirionedd.

11 Mi a roddais fy merch yn brïod i saith o wŷr, a'r nos yr aethant i mewn atti, y buant feirw: eithr bydd di yn awr yn llawen. A Thobïas a ddywedodd, Ni fwyttâf fi ddim yma, nes i ni gyttuno, a thyngu i'n gilydd.

12 A Raguel a ddywedodd wrtho, Cymmer dithau hi o hyn allan yn ol y gyfraith; canys ‡ tras wyt iddi, a hithau i tithau: a'r trugarog Dduw a'ch llwyddo § ym mhob peth.

‡ *Carennydd.* § *i phob daioni.*

13 Ac efe a alwodd Sara ei ferch, a hi a ddaeth at ei thad; yna efe a'i cymmerth hi erbyn ei llaw, ac a'i rhoddes yn wraig i Tobias, gan ddywedyd, Wele, cymmer hi yn ol [a] cyfraith Moses; a dwg hi ymaith at dy dad. Ac efe a'u bendithiodd hwynt.

[a] Num. 36. 6.

14 Ac wedi iddo alw Edna ei wraig, efe a gymmerth lyfr, ac a ysgrifenodd ysgrifen o'r ammodau, ac a'i seliodd.

15 Ac yna y dechreuasant fwytta.

16 A Raguel a alwodd Edna ei wraig, ac a ddywedodd wrthi, Fy chwaer, treina 'stafell arall, a dwg hi i mewn yno.

17 A hi a wnaeth fel y dywedodd efe, ac a'i dug hi i mewn i'r ystafell, a hithau a wylodd, a'i mam a dderbyniodd ddagrau ei merch, ac a ddywedodd wrthi,

18 Cymmer gysur, fy merch, rhodded Arglwydd nef a daear i ti lawenydd yn lle'r tristwch yma: bydd gysurus, fy merch.

## PEN. VIII.

3 *Tobias yn gyrru'r yspryd drwg ymaith yn y modd y dysgasid iddo.* 4 *Ei wraig ac yntau yn codi i fynu i weddïo.* 10 *Raguel yn tybied ei farw ef:* 15 *a chwedi ei gael ef yn fyw, yn moliannu Duw;* 19 *ac yn gwneuthur neithior.* Hydref, 1. P.

AC wedi iddynt swpperu, hwy a ddygasant Tobïas i mewn atti hi.

2 Yr hwn wrth fyned a feddyliodd am eiriau Raphael, ac a gymmerth † farwydos yr aroglau, ac a roddes arnynt galon y pysgodyn a'i afu, ac a wnaeth fwg â hwynt.

† *ludw.*

3 Pan aroglodd y cythraul yr arogl hwnnw, efe a ffodd i ‡ oruchafion yr Aipht. A'r Angel a'i rhwymodd ef.

‡ *eithafoedd.*

4 Ac fel yr oeddynt ill dau wedi eu cau i mewn, Tobïas a gyfododd o'i wely, ac a ddywedodd *wrth Sara,* Cyfod, fy chwaer, gweddïwn yr Arglwydd, *ar iddo* fod yn drugarog wrthym.

5 Yna y dechreuodd Tobïas ddywedyd, Bendigedig wyt ti, O Dduw ein tadau, a bendigaid yw dy Enw sanctaidd gogoneddus yn dragywyddol. Bendiged y nefoedd a'th greaduriaid oll dydi.

6 [a] Tydi a wnaethost Adda, ac a roddaist Efa ei wraig yn gymmorth ac yn nerth iddo: o honynt y daeth pob § rhyw ddyn. Ti a ddywedaist, Nid da bod gwr yn unig, gwnawn iddo gymmorth cyffelyb iddo.

[a] Gen. 2. 7, 18, 22. § *had dynion.*

7 Ac yr awrhon, Arglwydd, nid er mwyn godineb yr wyf yn cymmeryd fy chwaer hon, eithr mewn uniawn fryd: yn drugarog gan hynny gwna i ni heneiddio ynghyd.
8 A hi a ddywedodd gyd ag ef, Amen.
9 Ac felly y cysgasant ill dau y nos honno. A phan gyfododd Raguel i fynu, efe a aeth, ac a gloddiodd fedd,
10 Gan ddywedyd, Y *mae arnaf ofn* ei farw ef.
11 Ac wedi dyfod Raguel i'w dŷ,
12 Efe a ddywedodd wrth Edna ei wraig, Anfon un o'r morwynion i edrych ai byw efe: os amgen, fel y gallom ei gladdu ef heb wybod i neb.
13 A'r forwyn a agorodd y drws, ac a aeth i mewn, ac a'u cafodd hwynt ill dau yn cysgu.
14 A phan ddaeth allan, hi a fynegodd iddynt, ei fod ef yn fyw.
15 Yna Raguel a foliannodd Dduw, gan ddywedyd, Bendigedig ydwyt ti, O Dduw, â phob duwiol a sanctaidd fendith: bendiged dy Saint dydi, a'th greaduriaid oll; a chwbl o'th Angylion, a'th etholedigion, molant di byth bythoedd.
16 Bendigedig fych, O Arglwydd, am i ti fy llawenhâu i, ac na ddaeth i mi, fel yr oeddwn yn tybied; eithr ti a wnaethost i ni yn ol dy fawr drugaredd.
17 A bendigedig fyddech, am i ti drugarhâu wrth ddau unig-anedig. Dangos iddynt drugaredd, O Arglwydd; diwedda eu bywyd mewn iechyd, gyd â llawenydd a thrugaredd.
18 Yna yr archodd Raguel i'w weision lenwi'r bedd.
19 Ac efe a gadwodd y neithior bedwar diwrnod ar ddeg.
20 Canys Raguel cyn cyflawni dyddiau'r neithior a ddywedasai wrtho, gan dyngu, nad ai efe ymaith nes darfod cyflawni dyddiau'r neithior, nid amgen pedwar diwrnod ar ddeg;
21 Ac yna y cai efe hanner ei ddâ ef, a dychwelyd yn iach at ei dad; ac y cai efe y rhan arall, pan fyddwyf fi a'm gwraig farw.

PEN. IX.

Hydref, 2. P. 1 *Tobïas yn anfon yr Angel at Gabael i gyrchu 'r arian: 6 A'r Angel yn eu dwyn hwy adref, ac yn dwyn Gabael i'r neithior.*

YNA Tobïas a alwodd Raphael, ac a ddywedodd wrtho,
2 Fy mrawd Azarïas, cymmer gyd â thi was a dau gamel, a dos i Rages dinas Media, at Gabael, a chyrch i mi yr arian, a dwg ef i'r neithior.
3 Canys tyngodd Raguel na chawn i ymadael.
4 Eithr y mae fy nhad yn cyfrif y dyddiau; ac os trigaf fi yn hir, athrist iawn fydd ganddo ef.
5 A Raphael a aeth ymaith at Gabael, ac a roddes iddo yr ysgrifen law; ac yntau a ddug godau wedi eu selio, ac a'u rhoddes iddo.
6 A'r bore y cyfodasant, ac a ddaethant i'r neithior. A † Thobias a fendithiodd ei wraig.

† *Gabael a fendithiodd Tobïas a'i wraig.* Junius.

PEN. X.

Hydref, 2. P. 1 *Tobit a'i wraig yn hiraethu am eu mab; 7 A'r wraig heb fynnu ei chysuro gan ei gwr. 10 Raguel yn gollwng Tobïas a'i wraig ymaith, a hanner eu dâ, 12 ac yn eu bendithio hwy.*

A'I dad ef Tobit a gyfrifai bob dydd. Ac wedi cyflawni dyddiau'r daith, a hwythau heb ddyfod adref,
2 Yna y dywedodd Tobit, A siomnwyd hwynt, ai marw a wnaeth Gabael, fel nad oes neb i roddi'r arian iddo?
3 Ac efe a dristaodd yn ddirfawr.
4 A'i wraig a ddywedodd wrtho, Darfu am y bachgen: ac am ei fod efe yn aros cyhyd, hi a ddechreuodd alaru am dano, gan ddywedyd,
5 Nid oes gennyf ofal [illegible] fy mab, gan i mi dy ollwng di ymaith, [illegible] fy llygaid i.
6 Eithr Tobit a ddywedodd wrthi, Taw son, ac na ofala ddim; y mae efe yn iach lawen.
7 A hithau a ddywedodd wrtho, Taw â son, na thwylla fi; darfu am fy machgen i. A beunydd yr ai hi allan i'r ffordd yr aethent hwy: y dydd ni fwyttaei hi mo'r bwyd, a'r nos ni pheidiai ag wylo am Tobïas ei mab: *a hyn* nes darfod pedwar diwrnod ar ddeg y neithior, y rhai y tyngasai Raguel y gorfyddai i *Tobïas* aros yno. Yna y dywedodd Tobïas wrth Raguel, Gollwng fi ymaith: canys nid yw fy nhad a'm mam yn edrych am fy ngweled byth.
8 A'i chwegrwn a ddywedodd wrtho, Aros gyd â myfi, a mi a ddanfonaf rai a ddangoso dy helynt i'th dad.
9 Eithr Tobïas a ddywedodd, Nag ê ddim; ond gollwng fi at fy nhad.
10 Yna y cyfododd Raguel i fynu, ac a roddes Sara ei wraig iddo, a hanner ei ddâ, sef gweision, ac anifeiliaid, † a dâ bathol: † *ac arian.*
11 Ac wedi iddo eu bendithio, efe a'u danfonodd ymaith, gan ddywedyd, O fy mhlant, Duw nef a'ch llwyddo.
12 Ac efe a ddywedodd wrth ei ferch, Anrhydedda dy chwegrwn a'th chwegr, canys hwynt-hwy bellach sy dad a mam i ti: gad i mi glywed gair da am danat: ac efe a'i cusanodd hi. Edna hefyd a ddywedodd wrth Tobïas. Fy anwyl frawd, Arglwydd y nef a'th ddygo drachefn, ac a wnel i mi weled dy blant ti o'm merch Sara cyn fy marw, fel y llawenychwyf ger bron yr Arglwydd: ac wele, yr ydwyf yn rhoddi fy merch i ti mewn ymddiried; na ofidia hi.

PEN. XI.

6 *Mam Tobïas yn gweled ei mab yn dyfod:* Hydref, 3.
*10 A'i dad yn cyfarfod ag ef wrth y drws,* B.
*ac yn cael ei olwg. 14 Ac yn moliannu Duw; 17 Ac yn croesawu ei ferch ynghyfraith.*

YN ol hynny yr aeth Tobïas ymaith, gan foliannu Duw, o achos iddo lwyddo ei daith ef; ac efe a fendithiodd Raguel, ac Edna ei wraig. Ac yna efe a gerddodd rhagddo, oni ddaethant yn agos i Ninefe.
2 Yna Raphael a ddywedodd wrth Tobïas, Ti a wyddost, fy mrawd, pa fodd y gadewaist dy dad.
3 Brysiwn o flaen dy wraig, a threfnwn y tŷ.
4 A chymmer yn dy law fustl y pysgodyn. Ac felly yr aethant; a'r ci a'u canlynodd hwynt.
5 Ac Anna oedd yn eistedd, ac yn disgwyl am ei mab ar y ffordd:
6 Ac a'i hadnabu ef yn dyfod, ac a ddywedodd wrth ei dad ef, Wele dy fab di yn dyfod, a'r gwr a aeth gyd ag ef.
7 Yna y dywedodd Raphael, Mi a wn, Tobïas, yr egyr dy dad ei lygaid.

8 Am hynny îr di ei lygaid ef â'r bustl; o phan ferwinont, efe a'u rhwbia hwynt, ac fe syrth y rhuchen ymaith, ac efe a'th wêl di.

9 Yna y rhedodd Anna allan, a hi a syrthiodd ar wddf ei mab, gan ddywedyd wrtho, Mi a'th welais, fy mab, ac weithian boddlon ydwyf i farw. A hwy a wylasant ill dau.

10 Tobit hefyd a aeth allan tu a'r drws, ac a dramgwyddodd; ond ei fab a redodd atto,

11 Ac a ymaflodd yn ei dad, ac a daenellodd beth o'r bustl ar lygaid ei dad, gan ddywedyd, Bydd gysurus, fy nhad.

12 Ac wedi i'w lygaid ddechreu merwino, efe a'u dwys-rwbiodd hwynt;

13 A'r rhuchen a ddirisglodd ymaith oddi wrth giliau eu lygaid ef. Ac wedi iddo weled ei fab, efe a syrthiodd ar ei wddf ef,

14 Ac a wylodd, gan ddywedyd, Bendigedig wyt, O Dduw, a bendigedig yw dy Enw yn dragywydd, a'th holl Angylion sanctaidd sydd fendigedig.

15 Canys ti a'm ffrewylliaist, ac a dosturiaist wrthyf; wele fi yn gweled fy mab Tobïas. Yna yr aeth ei fab ef i mewn yn llawen, ac a ddangosodd i'w dad y mawr bethau a ddigwyddasai iddo ym Media.

† Cyfarfod. 16 Yna'r aeth Tobit allan i † gyfarfod â'i waudd hyd ym mhorth Ninefe, gan ymlawenhâu a moliannu Duw. A rhyfedd oedd gan y rhai oedd yn edrych arno ef yn cerdded, ei fod ef yn gweled.

17 A Thobit a gyffesodd yn eu gŵydd hwynt oll, ddarfod i Dduw dosturio wrtho. Ac wedi iddo nesâu at Sara ei waudd, efe a'i bendithiodd hi, gan ddywedyd, Croeso wrthyt, fy merch. Bendigaid fyddo Duw, yr hwn a'th ddug di attom ni, a bendigedig fyddo dy dad a'th fam. A llawenydd oedd ym mysg ei holl frodyr ef, y rhai oedd yn Ninefe.

‡ yr hwn a elwir Nasbas. Junius. 18 Ac Achiacarus a ddaeth yno, ‡ a Nasbas ei nai ef fab ei frawd.

19 A neithior Tobïas a gadwyd â llawenydd mawr saith niwrnod.

## PEN. XII.

Hydref, 3. F. 5 *Tobit yn cynnyg yr hanner i'r Angel am ei boen; 6 Ac yntau yn eu cymmeryd hwy ill dau o'r neilldu, ac yn eu cynghori; 15 Ac yn dywedyd iddynt mai Angel ydoedd: 21 Ac ni welwyd ef mwy.*

YNA y galwodd Tobit ei fab Tobïas, ac y dywedodd wrtho, Edrych, fy mab, am ei gyflog i'r gwr a aeth gyd â thi: a rhaid ydyw ei 'chwanegu.

2 A Thobïas a ddywedodd wrtho, Fy nhad, nid colled gennyf roi iddo ef hanner yr hyn a ddugum *gyd â mi.*

3 O herwydd efe a'm dug i adref i ti drachefn yn iach, ac a iachaodd fy ngwraig, ac a gyrchodd yr arian, ac a'th iachaodd dithau hefyd.

4 A'r henafgwr a ddywedodd, Mae yn gyfiawn iddo eu cael.

5 Yna y galwodd efe yr Angel, ac a ddywedodd wrtho, Cymmer hanner yr hyn oll a ddygasoch, a dôs yn iach.

6 Eithr efe wedi eu galw hwy ill dau o'r neilldu, a ddywedodd wrthynt, Diolchwch i Dduw, a moliennwch ef, a rhoddwch iddo ef fawr ogoniant; cyffeswch ef yngŵydd pawb o'r rhai byw, am y pethau a wnaeth efe i chwi. Peth daionus yw diolch i'r Arglwydd, a mawrhâu ei Enw ef, gan adrodd gweithredoedd Duw yn barchedig: ac na ddiogwch chwi ei foliannu ef.

7 Cyfrinach y brenhin sydd weddus ei chelu: ond gweithredoedd Duw sy ogoneddus eu cyhoeddi. Gwnewch ddaioni, ac ni'ch goddiwes drwg.

8 Daionus yw gweddi gyd ag ympryd, eluseni, a chyfiawnder. Gwell yw ychydig gyd â chyfiawnder, nâ llawer o dda ag anghyfiawnder. Gwell yw rhoi elusenau nâ phentyrru aur:

9 Canys eluseni a wared rhag angeu, ac a lanhâ bob pechod. Y rhai a wnêl elusen a chyfiawnder, a gyflawnir â bywyd:

10 Eithr pechaduriaid sy elynion i'w bywyd eu hunain.

11 Ni chuddiaf ddim rhagoch. Mi a ddywedais mai da yw cadw cyfrinach brenhin, a gogoneddus dangos gweithredoedd Duw ar gyhoedd.

12 Ac yr awrhon pan weddïaist ti, a'th waudd Sara, myfi a ddugum gof am eich gweddïau ger bron y Sanctaidd. A phan oeddit yn claddu'r meirw, yr oeddwn i gyd â thi hefyd.

13 A phan nad oedaist godi a gadael dy ginio, i fyned i gladdu'r *dŷn* marw, nid oedd dy weithred dda yn guddiedig rhagof: eithr yr oeddwn gyd â thi.

14 Ac yr awrhon Duw a'm danfonodd i i'th iachâu di a'th waudd Sara.

15 Myfi yw Raphael, un o'r saith Angel sanctaidd, y rhai sy'n dwyn i fynu weddïau'r rhai sanctaidd, ac sydd yn tramwy ger bron gogoniant yr hwn sydd Sanctaidd.

16 Yna y dychrynasant ill dau, a hwy a syrthiasant ar eu hwynebau: oblegid hwy a ofnasant.

17 Yna y dywedodd efe wrthynt, Nac ofnwch: canys bydd tangnefedd i chwi.

Eithr rhoddwch ddïolch i Dduw.

18 Canys nid o'm caredigrwydd fy hun, eithr trwy ewyllys ein Duw ni, y daethum. Am hynny rhoddwch ddïolch iddo ef yn dragywydd.

19 [a] Beunydd yr ymddangosais i chwi: eithr nid oeddwn yn bwytta nac yn yfed; namyn chwi a welech weledigaeth. [a] Gen. 18. 8. a 19. 3. Barn. 13. 16.

20 Ac yr awrhon moliennwch Dduw: canys mi a esgynnaf at yr hwn a'm danfonodd. Eithr ysgrifenwch yr hyn oll a wnaethpwyd mewn llyfr.

21 Yna y codasant i fynu, ac ni welsant ef mwy.

22 A chyffesu rhyfedd-fawr weithredoedd Duw a wnaethant, a'r modd yr ymddangosasai Angel yr Arglwydd iddynt.

## PEN. XIII.

*Y dïolch i Dduw a 'sgrifenodd Tobit.* Hydref, 4. B.

A Thobit a 'sgrifenodd weddi o orfoledd, ac a ddywedodd, Bendigaid fyddo Duw, yr hwn sydd yn byw yn dragywyddol, a bendigedig fyddo ei deyrnas ef:

2 [a] Canys efe sydd yn ffrewyllu, ac yn trugarhâu; yn dwyn i uffern, ac yn dwyn i fynu eilchwel: ac nid oes neb a all ddïangc o'i law ef. [a] Deut. 32. 39. 1 Sam. 2. 6. Doeth. 16. 13.

3 Clodforwch ef, meibion Israel, ger bron y cenhedloedd: canys efe a'n gwasgarodd ni yn eu plith hwynt.

4 Yno mynegwch ei fawredd, a dyrchefwch ef yngŵydd pawb sydd fyw: o herwydd efe yw ein Harglwydd ni, a Duw yw ein Tad ni byth bythoedd.

5 Ac efe a'n ceryddâ ni am ein camwe-

ddau, ac a drugarhâ eilchwel, ac a'n casgl
ynghŷd o fysg yr holl genhedloedd, ym
mhlith y rhai y'n gwasgarodd ni.
6 Os dychwelwch atto ef â'ch holl galon,
ac â'ch holl feddwl, a gwneuthur yn uniawn
ger ei fron ef, yna y dychwel yntau attoch
chwi, ac ni chudd ei wyneb rhagoch, a chwi
a gewch weled beth a wna efe i chwi: am
hynny cyffeswch ef â'ch holl enau, a moli-
ennwch Arglwydd y gallu, dyrchefwch Fren-
hin y tragywyddoldeb. Myfi a'i cyffesaf ef
yn nhir fy nghaethiwed, ac a fynegaf ei
nerth a'i fawredd ef i genedl bechadurus.
Trowch, bechaduriaid, a gwnewch gyfiawn-
der ger ei fron ef: pwy a ŵyr † a fyn efe
chwi, ac a wna efe drugaredd â chwi?

*† a ddarbod i efe o honoch chwi.*

7 Clodforaf fy Nuw, a'm henaid a fawl
Frenhin y nefoedd, ac a lawenhâ yn ei faw-
redd ef.
8 Llefared pob dŷn, a moled yr Argl-
wydd am ei gyfiawnder.
9 O Jerusalem y ddinas sanctaidd, efe
‡ a'th ffrewylla di am weithredoedd dy blant,
ac efe a dosturia eilchwel wrth feibion y rhai
cyfiawn.

*‡ a cwyd ffrewyll ar weithredoedd dy blant.*

10 Molianna'r Arglwydd; o blegid da yw:
a bendithia'r Brenhin tragywyddol; fel yr
adeilader drachefn ei babell ef ynot mewn
llawenydd: a llawenhâed efe dy gaethion, a
chared ynot y trueiniaid yn oes oesoedd:
11 Cenhedloedd lawer a ddeuant o bell at
Enw yr Arglwydd Dduw, â rhoddion yn eu
dwylaw, a rhoddion i Frenhin y nefoedd.
Yr holl genhedlaethau a'th foliannant di,
ac a roddant roddion gorfoledd.
12 Melldigedig yw pawb a'th gasânt, a ben-
digedig yw pawb a'th garant yn dragywydd.
13 Bydd hyfryd a llawen am blant y rhai
cyfiawn: canys hwy a gesglir ynghŷd, ac a
fendithiant Arglwydd y rhai cyfiawn.
14 Gwŷn eu byd y rhai a'th garant di;
canys hwy a lawenychant yn dy § dangne-
fedd: gwŷn eu byd y rhai a fuant athrist
am dy holl ffrewyllau di; canys hwy a fyd-
dant hyfryd o'th blegid, pan welont gwbl
o'th ogoniant, ac a lawenychant yn dragy-
wydd.

*§ heddwch.*

15 Moled fy enaid Dduw, y Brenhin mawr.
16 O herwydd Jerusalem, a adeiledir â
Saphir, ac â Smaragdus, ac â meini gwerth-
fawr; dy furiau a'th rag-furiau, ag aur
coeth.
17 A heolydd Jerusalem a balmentir â
meini Beril, a Charbuncl, ac â meini Ophir.
18 A'i heolydd hi oll a lefant Haleluiah,
ac a'i molant ef, gan ddywedyd, Bendigaid
fyddo Duw, yr hwn a'i dyrchafodd *hi* yn
dragywydd.

PEN. XIV.

Hydref, 4. P.

*3 Tobit yn rhoi addysg i'w fab. 8 yn enwedig i ymadael â Ninefe. 11 Efe a'i wraig yn marw, a'u claddu hwy. 12 Tobïas yn symmud i Ecbatane. 14 Ac yn marw yno, wedi clywed dinystr Ninefe.*

A Thobit a ddiweddodd ei gyffes.
2 Ac yr oedd efe, amyn dwy trugain
o flynyddoedd pan gollodd ei olwg, ac yn
ol wyth mlynedd y cafodd ef eilwaith. Ac
efe a wnaeth elusenau; ac efe † a gynny-
ddodd yn ofn yr Arglwydd Dduw ac yn ei
foliant ef.

*† a ofnodd ac a foliannodd yr Arglwydd Dduw fwyfwy.*

3 Ac wedi ei fyned yn hen iawn, efe a
alwodd ei fab, a chwe mab ei fab, ac a ddy-
wedodd wrtho, Wele, fy mab, cymmer dy
blant; wele, mi a heneiddiais, ac ar ymma-
daw â'r byd hwn yr ydwyf.
4 Dos i Media, fy mab: o achos yr ydwyf
yn credu pob peth a'r a ddywedodd Jonas
y prophwyd ynghylch Ninefe; y distrywir
hi, ac y bydd heddwch yn nhir Media yn
hytrach dros amser, ac y gwasgerir ein
brodyr ni ar hŷd y gwledydd, allan o'r tir
da, ac y diffeithir Jerusalem, a Theml yr
Arglwydd, yr hon sydd ynddi, a ddiffeithir
dros amser;
5 [a] A thrachefn y trugarhâ Duw wrthynt, [a] Ezra 3. 8.
ac a'u dychwel hwynt i'r wlad. Yno yr a 6. 14.
adeiladant y Deml, nid o fath y gyntaf, oni
gyflawner amser yr oes honno. Ac yn ol
hynny y dychwelant o bob man o'u caethi-
wed, ac a adeiladant Jerusalem yn anrhydе-
ddus, a thŷ Dduw a adeiladir ynddi ag adei-
lad gogoneddus, yn holl oesoedd y byd,
modd y dywedodd y prophwydi am dani.
6 A'r holl genhedloedd a wir-ddychwe-
lant i ofni'r Arglwydd Dduw, ac a gladdant
eu delwau.
7 Yna y bendithia'r holl genhedloedd yr
Arglwydd: a'i bobl ef a gyffesant Dduw,
a'r Arglwydd a ddyrchaif ei bobl; a phawb
a lawenychant a'r a garant yr Arglwydd
Dduw mewn gwirionedd a chyfiawnder, gan
wneuthur trugaredd â'n brodyr ni.
8 Ac yn awr, fy mab, dos ymaith o Ni-
nefe; o blegid diammau y daw y pethau a
ddywedodd y prophwyd Jonas i ben.
9 Eithr cadw di'r ddeddf a'r gorchymyn-
ion, a bydd elusengar a chyfiawn, fel y
byddo rhwydd rhagot.
10 Cladd fi yn weddaidd, a'th fam gyd â
mi; ac nac arhoswch mwy haiach yn Ni-
nefe. Cofia, fy mab, beth a wnaeth Aman
i Achiacharus, yr hwn a'i magodd ef, y
modd yr arweiniodd efe ef o'r goleuni i'r
tywyllwch, ac fel y gobrwyodd efe ef dra-
chefn: ac etto Achiacharus a ddïangodd,
eithr efe a gafodd ei haeddedigaeth, ac a
ddisgynnodd i'r tywyllwch. ‡ Manasses a ‡ *Nitzban.* Junius
wnaeth elusen, ac a ddïangodd o fagl yr
angau a osodasent iddo: eithr Aman a syr-
thiodd i'r fagl, a darfu am dano.
11 Ac yr awrhon, fy mhlentyn, ystyria
beth a wna elusendod, a'r modd y gwared
cyfiawnder. A phan y dywedodd efe'r pe-
thau hyn, ei enaid ef a ballodd yn y gwe-
ly, ac yr oedd efe yn gant, ac amyn dwy
trugain mlwydd o oed. § Ac efe a'i clad- § Neu, *A hwy a'i claddasant.*
dodd ef yn anrhydeddus.
12 A phan fu farw Anna ei fam ef, efe
a'i claddodd hi gyd â'i dad. Ac aeth To-
bïas, efe a'i wraig, a'i blant, i Ecbatane, at
Raguel ei chwegrwn.
13 Ac efe a heneiddiodd mewn urddas, ac
a gladdodd dad a mam ei wraig yn anrhy-
deddus, ac a berchennogodd eu dâ hwynt,
gyd â dâ Tobit ei dad:
14 Ac a fu farw yn Ecbatane yngwlâd
Media, pan oedd gant a saith ar hugain o
flwyddau o oed.
15 A chyn ei farw, efe a glybu ddinystrio 3378.
Ninefe, yr hon a ‖ ddug Nabuchodonosor ac ‖ *ennillodd Nabuchodonosor ac Assuerus.*
Assuerus i gaethiwed: felly efe a laweny-
chodd cyn ei farw am Ninefe.

# ¶ JUDITH.

## PEN. I.

Hydref, 5. B. *2 Arphaxad yn cadarnhâu Ecbatane: 5 A Nabuchodonosor yn rhyfela yn ei erbyn ef: 7 Ac yn ceisio cymmorth: 12 Ac yn bygwth y rhai ni chynnorthwyent ef: 15 Ac yn lladd Arphaxad: 16 Ac yn dychwelyd i Ninefe.*

YN y ddeuddegfed flwyddyn o deyrnasiad Nabuchodonosor, yr hwn a deyrnasodd yn Ninefe y ddinas fawr, yn nyddiau Arphaxad, yr hwn a deyrnasodd ar y Mediaid yn Ecbatane,

2 Ac a adeiladodd yn Ecbatane furiau oddi amgylch, o gerrig nâdd, yn dri chufydd o led, ac yn chwe chufydd o hŷd, ac a wnaeth uchder y mur o ddeg cufydd a thrugain, a'i dewdwr o ddeg cufydd a deugain;

3 A'i thyrau hi a osododd efe ar ei phyrth hi o gan cufydd, a'u tewdwr yn eu sylfaen o dri ugain cufydd;

4 Ac efe a wnaeth ei phyrth hi yn byrth dyrchafedig, o ddeg cufydd a thrugain o uchder, a'i lled yn ddeugain cufydd, yn ffordd i'w luoedd galluog i fyned allan, ac i fyddino ei wŷr traed ef:

5 Ië yn y dyddiau hynny y brenhin Nabuchodonosor a ryfelodd yn erbyn brenhin Arphaxad yn y maes mawr, hwn yw 'r maes yn ardaloedd Ragau.

6 Yna holl drigolion y mynydd-dir, a'r holl rai oedd yn preswylio wrth Euphrates, a Thigris, a Hydaspes, a gwlad Arioch brenhin yr Elymiaid, a ddaethant atto ef: a llawer iawn o genhedloedd o feibion Celod a ymgynnullasant i 'r gâd.

7 A Nabuchodonosor brenhin yr Assyriaid a anfonodd at yr holl rai oedd yn trigo o fewn Persia, a'r holl rai oedd yn trigo yn y gorllewin, ac at y rhai oedd yn preswylio yn Cilicia, a Damascus, a Libanus, ac Antilibanus, ac at yr holl rai oedd yn preswylio ar hŷd wyneb y môrdir.

8 Ac at y bobloedd y rhai oedd o fewn Carmel, a Galaad, a Galile uchaf, a maes mawr Esdrelom,

9 Ac at yr holl rai oedd yn Samaria a'i dinasoedd; a thu hwnt i'r Jorddonen, hyd Jerusalem, a Betane, a Chelius, a Chades, ac afon yr Aipht, a Thaphnes, a Ramesse, a holl wlad Gesem.

10 Hyd oni ddelir y tu hwnt i Danais a Memphis, ac at holl drigolion yr Aipht, oni ddelir i derfynau Ethiopia.

11 Ond holl drigolion y wlad a ddïystyrasant orchymyn Nabuchodonosor brenhin yr Assyriaid, ac ni ddaethant gyd ag ef i 'r rhyfel; o herwydd nid ofnasant rhagddo ef: ïe yr oedd efe ger eu bronnau hwynt megis un gwr: am hynny hwy a anfonasant ymaith ei genhadau ef oddi wrthynt heb eu neges, trwy ammarch.

12 Am hynny Nabuchodonosor a lidiodd yn erbyn yr holl wlad hon yn ddirfawr, ac a dyngodd i'w deyrn-gadair a'i frenhiniaeth, yr ymddïalai efe ar holl derfynau Cilicia, a Damascus, a Syria, ac y lladdai efe â'r cleddyf holl breswylwŷr gwlad Moab, a meibion Ammon, a holl Judea, a'r rhai oll oedd yn yr Aipht, hyd oni ddelir i derfynau y ddeu-for.

13 Yna efe a fyddinodd â'i gryfdwr yn erbyn brenhin Arphaxad, yn y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg; ac efe a orchfygodd yn ei ryfel: canys efe a ymchwelodd holl nerth Arphaxad, a'i holl feirch ef, a'i holl gerbydau.

14 Ac efe a ynnillodd ei ddinasoedd ef, ac a ddaeth hyd Ecbatane, ac a oresgynnodd y tyrau, ac a anrheithiodd ei heolydd hi, ac a osododd ei harddwch hi yn waradwydd.

15 Ac efe a ddaliodd Arphaxad ym mynyddoedd Ragau, ac a'i tarawodd trwyddo â'i bicellau, ac a'i distrywiodd ef yn llwyr y dwthwn hwnnw.

16 Felly efe a ddychwelodd i Ninefe, efe a'i holl fintai o amryw genhedloedd, yn dyrfa fawr iawn o ryfelwŷr; ac efe a fu yno yn segura, ac yn gwledda, efe a'i lu, dros gant ac ugain o ddiwrnodiau.

## PEN. II.

*4 Gwneuthur Olophernes yn bennaeth ar y llu. 11 A gorchymyn iddo nad arbedai neb a'r nid ymroai. 15 Ei lu ef, a'i arlwy. 23 Y lleoedd a ynnillodd, ac a ddifrododd efe wrth fyned.* Hydref, 5. P.

AC yn y ddeunawfed flwyddyn, yr ail *dydd* ar hugain o'r mis cyntaf, yr oedd y gair yn nhŷ Nabuchodonosor brenhin yr Assyriaid, yr ymddïalai efe ar yr holl ddaear fel y dywedasai efe.

2 Felly efe a alwodd atto ei holl weision, a'i holl bendefigion, ac a ymddiddanodd â hwynt ynghylch ei gyfrinach ddirgel ef; ac a † osododd ger eu bron hwynt, â'i enau ei hun, holl ddrygioni y ddaear. † *roddes ar lawr ddrygu y ddaear oll.*

3 Yna hwy a gyttunasant ddifetha pob cnawd a'r na chanlynasai orchymyn ei enau ef. 1 Sam. 20. 7. a 25. 17.

4 A phan orphennodd efe ei gyfrinach, Nabuchodonosor brenhin yr Assyriaid a alwodd am Olophernes tywysog ei filwriaeth, yr hwn oedd ail ar ei ol ef, ac a ddywedodd wrtho,

5 Fel hyn y dywed y brenhin mawr, arglwydd yr holl ddaear; Wele, dos ymaith o'm gŵydd i, a chymmer gyd â thi wŷr yn ymddiried yn eu nerth eu hunain, o wŷr traed, cant ac ugain mil, a rhifedi 'r meirch a'u marchogion, deuddeng mil.

6 A dos yn erbyn holl wlad y gorllewin, o herwydd hwy a anufuddhasant i'm gorchymyn i.

7 A thi a fynegi iddynt, am barottôi o honynt hwy i mi y ‡ ddaear, a'r dwfr: canys myfi a af allan yn fy llid yn eu herbyn hwynt, ac a orchuddiaf holl wyneb y ddaear â thraed fy llu, a mi a'u rhoddaf hwynt yn ysglyfaeth iddynt: ‡ Ar ol arfer brenhinoedd Persia, i'r rhai y rhoddid daear a dwfr, i gydnabod eu bod hwy yn arglwyddi ar for a thir. Herodotus.

8 Fel y llanwo eu rhai archolledig hwy eu dyffrynnoedd, a'u hafonydd hwynt; a'u llifeiriant a lifa trosodd, wedi ei lenwi â'u celaneddau hwynt.

9 A mi a'u dygaf hwynt yn gaethion i eithafoedd yr holl ddaear.

10 Gan hynny dos ymaith, a goresgyn i mi eu holl derfynau hwynt: ac os ymroddant i ti, ti a'u cedwi hwynt i mi, hyd ddydd eu cospedigaeth. § *pa le bynnag yr elych.*

11 Ond am y rhai anufudd, nac arbeded dy lygad hwynt; eithr dyro hwynt i farwolaeth, ac yn yspail § trwy dy holl dir di.

12 Canys fel yr ydwyf fi yn fyw, ac myn gallu fy mrenhiniaeth, beth bynnag a ddywedais, myfi a'i cwplâf â'm llaw.

13 Na throsedda dithau yr un o orchymynion dy arglwydd, eithr cwplâ hwynt yn llwyr, fel y gorchymynais i ti, ac nac oeda eu gwneuthur hwynt.

14 Yna Olophernes a aeth allan o ŵydd
ei arglwydd, ac a alwodd am yr holl ben-
naethiaid, a thywysogion, a swyddogion llu
Assur.
15 Ac efe a gyfrifodd y gwŷr etholedig i
ryfel, fel y gorchymynasai ei arglwydd iddo
ef, hyd yn gant ac ugain mil, a deuddeng
mil o saethyddion ar feirch.
16 Ac efe a'u gosododd hwynt mewn
trefn, fel y mae'r arfer o osod llu mawr
mewn trefn.
17 Ac efe a gymmerth fatai fawr iawn o
gamelod, ac asynnod, i *ddwyn* eu beichiau
hwynt, a defaid, ac ychain, a geifr yn llun-
iaeth iddynt, ar y rhai nid oedd rifedi:
18 Ac ymborth i bob gwr o'r fyddin, a
llawer iawn o aur, ac arian, allan o dŷ'r
brenhin.
19 Yna yr aeth efe a'i holl lu i ffordd, fel
yr aent hwy o flaen brenhin Nabuchodono-
sor, ac y gorchuddient holl wyneb y ddaear
tu a'r gorllewin, â'u cerbydau, ac â'u gwŷr
meirch, ac â'u gwŷr traed etholedig.
20 A llawer o † gymmysg-ddynion a ddae- † *amryw ddynion.*
thant gyd â hwynt, fel y ceiliogod rhedyn,
ac fel tywod y ddaear: canys nid oedd ri-
fedi arnynt rhag maint oedd o honynt.
21 A hwy a aethant o Ninefe daith tri
diwrnod, tu a gwastadedd Bectileth, ac a
wersyllasant oddi wrth Bectileth, yn gyfa-
gos i'r mynydd sydd ar y llaw aswy i Cilicia
uchaf.
22 Yna efe a gymmerth ei holl lu, ei wŷr
traed a'i wŷr meirch, a'r cerbydau, ac a aeth
oddi yno i'r mynydd-dir;
23 Ac a ddinystriodd Phud, a Lud, ac a
anrheithiodd holl feibion Rasses, a meibion
Ismael, y rhai oedd tu a'r anialwch, o du'r
deau i wlad y Celiaid.
24 Yna efe a aeth dros Euphrates, ac a
aeth trwy Mesopotamia, ac a ddinystriodd
yr holl ddinasoedd uchel, y rhai oedd ar
afon Arbonai, hyd oni ddeuir i'r môr.
25 Ac efe a oresgynnodd derfynau Cili-
cia, ac a ddistrywiodd yr holl rai a'i gwrth-
wynebant ef; ac efe a ddaeth i ardaloedd
Japheth, y rhai oedd tu a'r deau, ar gyfer
Arabia.
26 Efe a amgylchodd hefyd holl feibion
Madian, ac a losgodd eu pebyll hwynt, ac a
anrheithiodd eu lluestai hwynt.
27 Yna efe a aeth i waered i wastadedd
Damascus, yn nyddiau cynhaeaf y gwenith,
ac a losgodd eu holl feusydd hwynt, ac a
ddifethodd eu defaid a'u gwartheg hwynt;
ac efe a anrheithiodd eu dinasoedd hwynt,
ac a lwyr-yspeiliodd eu gwledydd, ac a
laddodd eu holl wŷr ieuainge hwynt â min
y cleddyf.
28 Am hynny ofn a dychryn a syrthiodd
ar holl drigolion y môr-dir, y rhai oedd yn
Sidon, ac yn Tyrus, ac yn trigo yn Sur, ac
Ocina, a'r holl rai oedd yn preswylio yn Jem-
naan: a phreswylwŷr Azotus ac Ascalon a
ofnasant rhagddo ef yn ddirfawr.

## PEN. III.

Hydref, 6. 1 *Yr arforwŷr yn eiriol am heddwch.* 7 *ac yn
derbyn Olophernes:* 8 *Ac yntau yn dinys-
trio eu duwiau hwy, fel y byddai iddynt
addoli Nabuchodonosor yn unig.* 9 *Y mae
efe yn dyfod yn agos i Judea.*
FELLY hwy a anfonasant genhadau, a
geiriau heddychlon atto ef, gan ddy-
wedyd,
2 Wele, ni gweision Nabuchodonosor
y brenhin mawr ydym yn † sefyll yn dy 3348.
ŵydd di; gwna i ni fel y gwelych yn † *orwedd ger dy fron di.*
dda.
3 Wele ein tai ni, a'n holl leoedd, a'n
holl feusydd gwenith, a'n defaid, a'n gwar-
theg, a'n holl luestai, a'n pebyll, yn sefyll
o'th flaen di, gwna iddynt fel y gwelych di
yn dda.
4 Wele hefyd ein dinasoedd ni a'r rhai
sy yn trigo ynddynt sydd yn weision i ti;
tyred, a gwna â hwynt fel y gwelych di yn
dda.
5 Felly y gwŷr a ddaethant at Olopher-
nes, ac a fynegasant wrtho ef yn ol y gei-
riau hyn.
6 Yna efe a ddaeth i waered tu a'r môr-dir,
efe a'i lu, ac a osododd geidwaid yn y dinas-
oedd uchel, ac a gymmerth allan o honynt
wŷr etholedig yn gynnorthwy *iddo.*
7 Felly hwynt-hwy, a'r holl wlad o am-
gylch a'i croesawasant ef â choronau, â
dawnsiau, ac â thympanau.
8 Er hynny efe a ddifwynodd eu holl
fröydd hwynt, ac a dorrodd i lawr eu
llwynau hwynt: canys efe a roddasai ei
fryd ar ddinystrio holl dduwiau'r tir, fel yr
addolai'r holl genhedloedd Nabuchodonosor
yn unig, ac y galwai pob tafod a llwyth arno ‡ *Esdrelom.*
ef megis ar Dduw.
9 Ac efe a ddaeth ar gyfer ‡ Esdraelon, § *Dotea, Dothan,*
yn gyfagos at § Ddothea, gyferbyn â'r ‖ gy- Gen. 37. 17.
fyng dir i Judea:
10 Ac efe a wersyllodd rhwng Geba, a ‖ *Gr. llif fawr.*
† dinas y Scythiaid: ac efe a fu yno fis o † *Scythopolis.*
ddyddiau; fel y casglai efe holl lwythau
ei lu.

## PEN. IV.

1 *Yr Iuddewon yn ofni Olophernes:* 5 *Ac* Hydref, 6. P.
*yn cadarnhau'r mynyddoedd:* 6 *Gwŷr
Bethulia yn cymmeryd arnynt gadw'r
bylchau,* 9 *A holl Israel yn ymprydio, ac
yn gweddio.*
PAN glybu meibion Israel, y rhai oedd
yn preswylio yn Judea, yr hyn oll a
wnaethai Olophernes tywysog llu Nabu-
chodonosor brenhin yr Assyriaid i'r cen-
hedloedd, ac fel yr anrheithiasai efe eu holl
demlau hwynt, ac y distrywiasai efe hwynt.
2 Yna hwy a ofnasant yn ddirfawr rhag-
ddo ef, ac a drallodwyd o herwydd Jeru-
salem, ac o herwydd Teml yr Arglwydd eu
Duw.
3 Canys newydd ddyfod i fynu oeddynt
hwy o'r caethiwed ac yn ddiweddar yr
ymgasglasai † holl bobl Judea, ac y sanc- † *yr holl bobl allan o Judea.*
teiddiasid y llestri, a'r tŷ, ar ol yr haloge-
digaeth.
4 Am hynny hwy a anfonasant i holl
ardaloedd Samaria, a'r pentrefydd, ac i
Bethoron, a Belmen, a Jericho, ac i Choba,
ac Esora, ac i ddyffryn Salem;
5 Ac o'r blaen a gymmerasant bennau'r
mynyddoedd uchel, ac a furiasant y pen-
trefydd oedd ynddynt, ac a osodasant *yn-
ddynt* luniaeth yn ymborth erbyn rhyfel:
canys yn ddiweddar y medasid eu meusydd
hwynt.
6 Joacim hefyd yr Arch-offeiriad, yr hwn
ydoedd yn y dyddiau hynny, a 'sgrifenodd
at y rhai oedd yn trigo ym Bethulia, a Be-
tomesthaim, yr hon sydd ar gyfer ‡ Esdrae- ‡ *Esdrelom.*
lon, gyferbyn â'r § m[illegible], yr hwn § *gwastadedd.*
sydd yn gyfagos Ddothaim,
7 Gan ddywedyd *wrthynt* am gadw byl-
chau'r mynydd-dir. Canys trwyddynt hwy
yr ydoedd dyfodfa i Judea: ac yr ydoedd yn

hawdd eu lluddias hwynt i ddyfod yno, o
herwydd y bwlch ydoedd gyfyng i ddau wr
† o'r mwyaf. († *yn erbyn pawb.*)
8 A meibion Israel a wnaethant fel y
gorchymynasai Joacim yr Arch-offeiriad
iddynt, a ‡ Henuriaid holl bobl Israel, y (‡ *[illegible]*)
rhai oedd yn trigo yn Jerusalem.
9 Yna holl wŷr Israel a waeddasant ar
Dduw yn ddifrifol iawn, ac a ostyngasant eu
heneidiau trwy ddyfalrwydd mawr;
10 Hwynt-hwy, a'u gwragedd, a'u plant,
a'u hanifeiliaid, a phob dïeithr a gwas cy-
flog, a gweision pryn, a osodasant sach-lïain
am eu llwynau.
11 Fel hyn pob gwr a gwraig, a'r plant,
a thrigolion Jerusalem, a syrthiasant o flaen
y Deml, ac a daenasant ludw ar eu pennau,
ac a ledasant eu sach-lïain ger bron wyneb
yr Arglwydd: a hwy a wisgasant yr allor â
sach-lïain,
12 A hwy a waeddasant ar Dduw Israel
i gyd oll o un fryd yn ddyfal, ar na roddai
efe eu plant hwy yn ysglyfaeth, a'u gwra-
gedd hwy yn anrhaith, a dinasoedd eu heti-
feddiaethau hwynt yn ddistryw, a'r Cyssegr
yn halogedigaeth ac yn waradwydd, ac yn
watwargerdd gan y cenhedloedd.
13 Felly Duw a wrandawodd ar eu gwe-
ddi hwynt, ac a'u gwaredodd hwynt o'u
blinder. Canys y bobl a ymprydiasant ddy-
ddiau lawer trwy holl Judea a Jerusalem o
flaen Cyssegr yr Arglwydd Holl-alluog.
14 A Joacim yr Arch-offeiriad, a'r holl
Offeiriaid, y rhai oedd yn sefyll ger bron yr
Arglwydd, a'r rhai oedd yn gweini i'r Ar-
glwydd, oedd wedi gwregysu eu llwynau â
sach-lïain, ac yn offrymmu poeth-offrwm
gwastadol, ac addunedau, ac offrymmau
gwirfodd y bobl, ac yr oedd lludw ar eu
meitrau hwynt;
15 A hwy a waeddasant ar yr Arglwydd
â'u holl nerth, ar iddo ef ymweled yn rasol
â holl dŷ Israel.

## PEN. V.

Hydref, 7. B. 5 *Achior yn dywedyd i Olophernes beth yw*
*'r Iuddewon: 8 A pheth a wnaethai eu Duw*
*erddynt: 21 Ac yn cynghori nad ymyrrid*
*arnynt hwy: 22 A phawb a'r a'i clywsant*
*yn anfoddlon iddo.*

YNA y mynegwyd i Olophernes tywy-
sog milwriaeth yr Assyriaid ddarfod i
feibion Israel ymbarottôi i ryfel, a chau o
honynt hwy fylchau'r mynydd-dir, a murio
holl goppa'r mynyddoedd uchel, a gosod
rhwystrau yn y meusydd.
2 Am hynny efe a ddigiodd yn ddirfawr,
ac a alwodd am holl dywysogion Moab, a
chapteniaid Ammon, a holl lywodraethwŷr
y môr-dir;
3 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Myneg-
wch i mi, chwi feibion Canaan, pwy ydyw
y bobl hyn sy'n preswylio yn y mynydd-
dir, a pheth yw y dinasoedd y maent yn
trigo ynddynt, a pha faint sydd yn eu llu
hwynt, ac ym mha beth y mae eu cadernid
a'u nerth hwynt, a pha frenhin sydd arnynt,
neu dywysog ar eu llu hwynt,
4 A phaham y rhoisent eu bryd na ddeu-
ent i'm cyfarfod i, yn amgenach nâ holl dri-
golion y gorllewin.
a Pen. 6. 5. a 11. 9. 5 Yna y dywedodd a Achior tywysog holl
feibion Ammon, Gwrandawed fy arglwydd
air o enau dy was, a myfi a fynegaf i ti y
gwirionedd am y bobl hyn sydd yn pre-
swylio yn y mynydd-dir, yn gyfagos i'r lle
yr wyt ti yn cyfanneddu: ac ni ddaw cel-
wydd allan o enau dy was.
6 Y bobl hyn sy o hiliogaeth y Caldeaid,
7 b Ac a fuant gynt yn trigo ym Mesopo- b Gen. 11.
tamia, o herwydd na fynnent ganlyn duwiau 31
eu tadau, y rhai oedd yngwlâd Caldea.
8 A hwy a aethant allan o ffordd eu
rhïeni, ac a addolasant Dduw y nefoedd, y
Duw yr hwn a adwaenent. Felly hwythau
a'u bwriasant hwy o ŵydd eu duwiau; a
hwythau a ffoisant i Mesopotamia, ac a wlad-
ychasant yno ddyddiau lawer.
9 Yna c eu Duw hwynt a orchymynodd c Gen. 12.
iddynt ymado o'r lle yr oeddynt yn aros 1.
ynddo, a myned i wlad Canaan; Ac yno y
trigasant, ac y cynnyddasant o aur, ac ariau,
ac anifeiliaid lawer iawn.
10 Pan orchuddiasai newŷn holl wlad
Canaan, yna hwy a aethant i wared i'r
Aipht, ac a arhosasant yno, hyd oni ddych-
welasant; a hwy a wnaed yno yn dyrfa
fawr, fel nad oedd rifedi ar eu hiliogaeth
hwynt.
11 Am hynny brenhin yr Aipht a gy-
fododd yn eu herbyn hwynt, ac a wnaeth yn
ddichellgar â hwynt, ac a'u darostyngodd
hwynt trwy lafur, a d phridd-feini, ac a'u d Exod. 1.
gwnaeth hwynt yn gaeth-weision. 8.
12 Yna hwy a lefasant ar eu Duw; ac
efe a darawodd holl wlad yr Aipht â
phlâau, y rhai ni ellid eu hiachâu. Felly
e yr Aiphtiaid a'u bwriasant hwy allan o'u e Exod. 20.
golwg. 31, 33.
13 A f Duw a sychodd y môr coch o'u f Exod. 14.
blaen hwynt. 21.
14 Ac g a'u dug hwy i † fynydd Sina, a g Exod. 19.
Chades-Barne, ac a fwriodd ymaith yr holl 1.
rai oedd yn trigo yn yr anialwch. († *ffordd anialwch Sina.*)
15 A hwy a breswyliasant wlad yr Amor-
iaid, ac a ddistrywiasant trwy eu cryfder
y rhai oll o Esebon; a chan fyned dros yr
Iorddonen hwy a etifeddasant yr holl fy-
nydd-dir.
16 h A hwy a yrrasant ymaith o'u blaen h Josua 12.
hwynt y Canaaneaid, a'r Phereziaid, a'r 8.
Jebusiaid, a'r Sychemiaid, a'r holl Ger-
gesiaid, ac a breswyliasant yno ddyddiau
lawer.
17 A thra fuant hwy heb bechu ger bron
eu Duw, hwy a lwyddasant; o herwydd y
Duw, yr hwn sydd yn casâu anwiredd, oedd
gyd â hwynt.
18 Ond i pan giliasant hwy o'r ffordd i Barn. 2.
a osodasai efe iddynt, hwy a ddistrywiwyd 11. a 3. 8.
trwy ryfeloedd lawer iawn dros ben, ac
k a gaeth-gludwyd i wlad nid oedd eiddynt k 2 Bren.
hwy; a Theml eu Duw hwynt a fwriwyd 25. 1, 11.
i lawr, a'u dinasoedd hwynt a ynnillwyd gan
y gelynion.
19 Ac l yn awr y dychwelasant at eu l Ezra 1. 1.
Duw, ac y daethant i fynu o'r wasgarfa lle 3.
y gwasgarasid hwynt, ac y meddiannasant
Jerusalem, lle y mae eu cyssegr hwynt, ac
y trigasant yn y mynydd-dir; canys anghy-
fannedd fu.
20 Yn awr gan hynny, *fy* llywydd *a'm*
harglwydd, od oes amryfusedd yn y bobl
hyn, ac o pechasant yn erbyn eu Duw,
ystyriwn mai hyn fydd yn rhwystr iddynt;
ac awn i fynu, a goresgynnwn hwynt.
21 Eithr onid oes anwiredd yn eu
cenedl hwynt; eled fy arglwydd heibio,
rhag i'w Harglwydd eu hamddiffyn hw-
ynt, ac i'w Duw fod drostynt, ac i nin-
nau fod yn waradwydd yngolwg yr holl
fyd.

22 A phan orphenodd Achior y geiriau
hyn, yr holl bobl oedd yn sefyll o amgylch
y babell a rwmmiasant, a phendefigion
Olophernes, a'r rhai oll oedd yn preswylio
'r môr-dir, a Moab, a ddywedasant am ei
ladd ef.
23 Canys, *eb hwynt*, nid ofnwn ni rhag
wynebau meibion Israel: o herwydd, wele,
pobl ydynt hwy heb na nerth na chadernid
yn erbyn llu mawr.
24 Am hynny awn i fynu, a hwy a fydd-
ant yn fwyd i'th lu di, O arglwydd Olo-
phernes.

## PEN. VI.

Hydref, 7. P. 1 *Olophernes yn dirmygu Duw, 7 Ac yn*
*bygwth Achior, ac yn ei yrru ymaith:*
*14 Y Bethuliaid yn ei dderbyn ef, ac yn*
*gwrando arno: 18 Yn gweddio, ac yn cys-*
*uro Achior.*

A Phan ddistawodd twrf y gwŷr oedd o
amgylch yr eisteddfod, yna Olophernes
tywysog llu yr Assyriaid a ddywedodd wrth
Achior a'r Moabiaid oll, ger bron yr holl
bobl ddieithr.
2 A pwy wyt ti, Achior, a chyflogе-
digion Ephraim, fel y prophwydaist yn ein
mysg ni fel heddyw, ac y dywedaist, ar na
ryfelom ni â phobl Israel, am yr amddiffyn
eu Duw hwynt? a phwy sydd Dduw onid
Nabuchodonosor?
3 Efe a enfyn ei nerth, ac a'u difetha
hwynt oddi ar wyneb y ddaear; ac ni wa-
reda eu Duw hwynt; eithr nyni ei weision
ef a'u distrywiwn hwynt fel un gwr; canys
ni allant hwy sefyll dan nerth ein meirch ni.
4 Nyni a'u sathrwn hwy â hwynt; a'u
mynyddoedd hwynt a feddwir â'u gwaed,
a'u meusydd a lenwir â'u celaneddau hwy,
ac eu traed ni allant sefyll o'n blaen: eithr
llwyr-ddifethir hwynt, medd y brenhin
Nabuchodonosor, arglwydd yr holl ddaear;
canys efe a ddywedodd, Ni bydd un o'm
geiriau i yn ofer.
5 A thithau Achior, cyflog-was Ammon,
yr hwn a leferaist y geiriau hyn yn nydd dy
anwiredd, ni chei weled mwyach fy wyneb
i o heddyw allan, hyd oni ddïalwyf ar y
genedl hon a ddaeth o'r Aipht.
† cleddyf. 6 Yna † haiarn fy llu i, a lliaws fy ngweis-
ion, a â trwy dy ystlysau di, a thi a syrthi ym
mhlith eu lladdedigion hwynt, pan ddych-
welwyf.
7 A'm gweision i a'th ddygant di i'r my-
‡ o ddinasoedd y mynediadau i fynu. nydd-dir, a hwy a'th osodant di yn un ‡ o'r
dinasoedd uchel.
8 Ac ni ddifethir di, nes dy ddifetha gyd
â hwynt.
9 Ac od wyt ti yn gadael ar dy galon na
ddelir hwynt, na syrthied dy wynebpryd:
myfi a'i lleferais, ac ni bydd un o'm geiriau
yn ofer.
10 Yna Olophernes a orchymynodd i'w
weision, y rhai oedd yn sefyll yn ei babell
ef, ddala Achior, a'i ddwyn ef i Bethulia, a'i
roddi ef yn nwylaw meibion Israel.
11 Felly ei weision ef a'i daliasant, ac a'i
dygasant ef allan o'r gwersyll i'r gwasta-
dedd, ac a aethant o ganol y gwastadedd i'r
mynydd-dir, ac a ddaethant at y ffynhon-
nau sydd dan Bethulia.
12 A phan welodd gwŷr y ddinas hwynt,
hwy a godasant eu harfau, ac a aethant allan
o'r ddinas, i ben y brynn; a phob gwr a'r
a oedd yn ergydio mewn taff-ffon a'u lludd-
iodd hwynt rhag dyfod i fynu, ac a daflasant
gerrig i'w herbyn hwynt.

13 Yna hwy a aethant dan y brynn, ac a
rwymasant Achior, ac a'i taflasant i lawr, ac
a'i gadawsant ef wrth droed y brynn, ac a
aethant at eu harglwydd.
14 Yna meibion Israel a ddaethant i
wared o'u dinas, ac a ddaethant atto ef, ac
a'i gollyngasant yn rhydd, ac a'i dygasant i
Bethulia, ac a'i gosodasant ger bron llywod-
raethwŷr eu dinas,
15 Y rhai oedd yn y dyddiau hynny, Ozïas
mab Micha, o lwyth Simeon, a Chabris mab
Gothoniel, a Charmis mab Melchiel.
16 A hwy a alwasant ynghŷd holl henur-
iaid y ddinas; a'u holl wŷr ieuaingc hwy a'u
gwragedd a redasant ynghŷd i'r gymmanfa;
a hwy a osodasant Achior ynghanol eu pobl.
Yna Ozïas a ofynnodd iddo ef yr hyn a
ddigwyddasai.
17 Ac efe a attebodd, ac a fynegodd idd-
ynt eiriau cynghor Olophernes, a'r holl
eiriau a lefarasai efe ym mysg tywysogion
Assur, a'r pethau oll a ddywedasai Olopher-
nes yn rhyfygus yn erbyn tŷ Israel.
18 Yna y bobl a syrthiasant i lawr, ac a
addolasant Dduw, ac a waeddasant ar Dduw,
gan ddywedyd,
19 O Arglwydd Dduw y nefoedd, edrych
ar eu balchder hwy, a thrugarhâ wrth wae-
ledd ein cenedl ni, ac edrych ar wyneb y
rhai a sancteiddiwyd i ti y dydd hwn.
20 Yna hwy a gysurasant Achior, ac a'i
canmolasant ef yn ddirfawr.
21 Ac Ozïas a'i cymmerth ef o'r gymmu-
lleidfa i'w dŷ, ac a wnaeth wledd i'r He-
nuriaid: a hwy a alwasant ar Dduw Is-
rael yn gynhorthwy *iddynt* ar hŷd y nos
honno.

## PEN. VII.

1 *Olophernes yn gwarchae ar Bethulia. 7 ac yn* Hydref, 8. B.
*attal y dwfr oddi wrthynt, 22 Hwythau*
*yn llesgáu, ac yn murmur yn erbyn eu*
*llywodraethwŷr; 30 A hwythau yn addaw*
*ymroi ym mhen y pum niwrnod.*

A Thrannoeth Olophernes a orchymyn-
odd i'w holl lu, ac i'w holl bobl, y
rhai a ddaethent yn gynhorthwy iddo ef,
symmud eu gwersyllau yn erbyn Bethulia,
ac o'r blaen oresgyn † bylchau'r mynydd- † drang-faau.
dir, a gwneuthur rhyfel yn erbyn meibion
Israel.
2 Yna eu gwŷr cryfion hwynt a sym-
mudasant eu gwersyllau y dydd hwn-
nw. A llu y rhyfelwŷr oedd gan mil a
deng mil a thrugain o wŷr traed, a den-
ddeng mil o wŷr meirch, heb law pobl
gymmysg, a gwŷr eraill, y rhai oedd ar
eu traed yn eu plith hwynt, yn dyrfa fawr
iawn.
3 A hwy a wersyllasant yn y dyffryn, yn
gyfagos i Bethulia, wrth y ffynnon: ac a
gyrhaeddasant ar led ‡ o Ddothaim hyd Bel- ‡ dros.
maim, ac ar hŷd o Bethulia i § Chyamon, yr § faes y ffa. yr hwn.
hon sydd ar gyfer Esdraelom.
4 A phan welodd meibion Israel eu
lliaws hwynt, hwy a gyffroisant yn a-
ruthr, a phob un a ddywedodd wrth ei gi-
lydd, Yn awr y rhai hyn a oresgynnasant
wyneb yr holl ddaear: canys ni ddichon
y mynyddoedd uchel, na'r dyffryn-
noedd, na'r brynniau gynnal eu pwys
hwynt.
5 Yna pob un a gymmerth ei arfau rhy-
fel, ac a gynneuasant dân ar eu tyrau, ac
a arhosasant yn gwylied ar hŷd y nos
honno.

6 Ac ar yr ail dydd, Olophernes a ddug allan ei holl wŷr meirch yngolwg meibion Israel, y rhai oedd yn Bethulia.

7 Ac efe a ddaliodd sulw ar y ffordd yr elid i fynu i'w dinas hwynt, ac efe a ddaeth at eu ffynhonnau dyfroedd hwy, ac a'u goresgynnodd hwynt, ac a osododd fyddinoedd o ryfelwŷr arnynt hwy, ac a symmudodd ei wersyll tu ag at ei bobl.

8 Yna holl dywysogion meibion Esau, a holl bennaethiaid pobl Moab, a holl gapteniaid y môr-dir a ddaethant atto ef, ac a ddywedasant,

9 Gwrandawed ein harglwydd air yn awr, rhag dyfod afrwydd-deb yn dy lu di.

10 Canys y bobl hyn, meibion Israel, nid ydynt yn ymddiried yn eu gwaywffyn, eithr yn uchder y mynyddoedd, lle y maent hwy yn preswylio, o blegid anhawdd yw myned i fynu i bennau eu mynyddoedd hwy.

11 Yn awr gan hynny, fy Arglwydd, nac ymladd â hwynt mewn rhyfel byddinog, ac ni dderfydd am un gwr o'th bobl di.

12 Aros yn dy wersyllau, gan gadw pob gwr o'th lu, a goresgynned dy weision di y ffynnon ddwfr sydd yn dyfod allan o odre'r mynydd:

13 Canys oddi yno y mae holl drigolion Bethulia yn cael eu dwfr: felly syched a'u lladd hwynt, a hwy a roddant i fynu eu dinas; a ninnau a'n pobl a awn i fynu i bennau'r mynyddoedd nesaf ac a wersyllwn yn eu herbyn hwynt, trwy wylied nad elo un gwr allan o'r ddinas.

14 Felly hwynt-hwy a'u gwragedd a'u meibion a drengant o newyn; a chyn dyfod y cleddyf yn eu herbyn hwynt, hwy a ddymchwelir yn yr heolydd lle y maent yn trigo.

15 Fel hyn y teli di iddynt hwy daledigaeth ddrygionus o herwydd iddynt hwy wrthryfela, ac nad ufuddhasant i'th wyneb di yn heddychol.

16 A'u geiriau hwynt a fu foddlon gan Olophernes, a chan ei holl weision: ac efe a orchymynodd wneuthur megis y llefarasent hwy.

17 Felly gwersyllau meibion Ammon a ymadawsant, a chyd â hwynt bûm mil o'r Assyriaid; a hwy a wersyllasant yn y dyffryn, ac a oresgynnasant y dyfroedd, a ffynhonnau dwfr meibion Israel.

18 A meibion Esau a aethant i fynu gyd â meibion Ammon, ac a wersyllasant yn y mynydd-dir ar gyfer Dothaim. A hwy a anfonasant rai o honynt tu a'r dehau, a thu a'r dwyrain, gyferbyn ag Ecrebel, yr hon sydd yn gyfagos i Chusi, yr hon sydd ar yr afon Mochmur; a'r rhan arall o lu yr Assyriaid a wersyllasant yn y maes, ac a orchuddiasant holl wyneb y wlad; a'u pebyll hwynt, a'u mud, a wersyllasant yn lliaws mawr iawn.

19 A meibion Israel a waeddasant ar yr Arglwydd eu Duw, canys hwy a ddigalonnasent: o herwydd bod eu holl elynion o amgylch, fel na allent ffoi o'u plith hwynt.

20 A holl gynnulleidfa'r Assyriaid, a'r gwŷr traed, a'r cerbydau, a'u gwŷr meirch, a drigasant o'u hamgylch hwynt, bedwar diwrnod ar ddeg ar hugain, fel y pallodd eu holl lestri dyfroedd gan holl drigolion Bethulia.

† *pydewau.* 21 A'r † ffynhonnellau a ddïysbyddwyd, ac nid oedd ganddynt ddigon o ddwfr i'w yfed dros un diwrnod: canys dan fesur y rhoddent iddynt *ddwfr* i'w yfed.

22 Am hynny eu plant hwy a lesmeirfasant, a'u gwragedd a'u gwŷr ieuaingc a ballasant gan syched, ac a syrthiasant yn heolydd y ddinas, ac ynghynniweirfeydd y pyrth: ac nid oedd nerth ynddynt mwyach.

23 Yna yr holl bobl a ymgasglasant at Ozïas, ac at dywysogion y ddinas, yn wŷr ieuaingc, ac yn wragedd, ac yn blant, ac a waeddasant â llef uchel, ac a ddywedasant ger bron yr holl Henuriaid,

24 [a] Duw a farno rhyngom ni a chwi: [a] Exod. 5. 21.
canys chwi a wnaethoch gam mawr â ni, am na lefarasoch yn heddychlon wrth feibion Assyria.

25 Canys yn awr nid oes gennym ni gynnorthwywr: eithr Duw a'n gwerthodd ni i'w dwylaw hwynt, fel y'n cwymper ni i lawr o'u blaen hwynt, trwy syched, a thrwy ddinystr mawr.

26 Yn awr gan hynny gelwch hwynt attoch, a rhoddwch yr holl ddinas yn anrhaith i bobl Olophernes, ac i'w holl lu ef.

27 Canys gwell i ni fod yn anrhaith iddynt hwy nâ marw o syched: o blegid ni a fyddwn yn weision, fel y byddo byw ein heinioes, ac na welom farwolaeth ein plant o flaen ein llygaid, na'n gwragedd a'n meibion yn meirw.

28 Yr ydym yn galw yn dyst yn eich erbyn chwi y nef a'r ddaear, a'n Duw ni, ac Arglwydd ein tadau, yr hwn sydd yn dïal arnom ni yn ol ein pechodau, a phechodau ein tadau, ‡ fel na wnelo efe fel hyn y ‡ *rhag iddo ef*, sef, Olophernes *wneuthur*, &c.
dydd heddyw.

29 Yna yr oedd wylofain mawr ynghanol y gynnulleidfa gan bawb yn gyttun: felly hwy a waeddasant ar yr Arglwydd Ddûw â llef uchel.

30 Yna y dywedodd Ozïas wrthynt hwy, Cymmerwch gyssur, frodyr: disgwyliwn etto bûm niwrnod, yn y rhai y dichon yr Arglwydd ein Duw ni ddychwelyd ei drugaredd arnom: canys o'r diwedd ni wrthyd efe mo honom ni.

31 Ac od â'r dyddiau hyn heibio, heb ddyfod cynhorthwy i ni, mi a wnaf yn ol eich gair chwi.

32 Felly efe a wasgarodd y bobl i'w gwersyllau, a hwy a aethant ymaith i'r muriau, ac i dyrau ei dinas. ac a anfonasant eu gwragedd a'u plant i'w tai: a hwy a fuant mewn gostyngiad mawr yn y ddinas.

## PEN. VIII.

1 *Cyflwr ac ymarweddiad Judith y wraig* Hydref, 8. P.
*weddw.* 12 *Y mae hi yn beio ar y llywodraethwŷr am addaw ymroi:* 17 *Ac yn eu cynghori hwynt i roi eu goglud ar Dduw.* 28 *Hwythau yn esgusodi eu haddewid:* 32 *A hithau yn addaw gwneuthur rhyw beth drostynt hwy.*

AC yn y dyddiau hynny Judith a glybu *hyn;* A hi ydoedd ferch Merari, fab Ox, fab Joseph, fab Oziel, fab Elcia, fab Ananïas, fab Gedeon, fab Raphaim, fab Acithio, fab Eliu, fab Elïab, fab Nathanael, fab † Samael, fab Salasadai, fab Israel. † *Samalael.*

2 A Manasses oedd ei gwr hi, o'r un llwyth a gwaedoliaeth â hi: ac efe a fuasai farw yn nyddiau'r cynhauaf haidd.

3 Canys yr oedd efe yn ddyfal yn gwylied y rhai oedd yn rhwymo ysgubau yn y maes, a'r gwres a ddaeth ar ei ben ef, fel y syrthiodd efe ar ei wely, ac efe a fu farw yn ninas Bethulia, a hwy a'i claddasant ef gyd â'i dadau, yn y maes sydd rhwng Dothaim a Balamon.

4 A Judith oedd yn ei thŷ ei hun yn weddw, dair blynedd a phedwar mis.

5 A hi a wnaeth iddi babell yn y fan uchaf o'i thŷ, ac a osododd sachlen am ei llwynau, a dillad ei gweddwdod oedd am dani hi.

6 A hi a ymprydiodd holl ddyddiau ei gweddwdod; oddi eithr y dydd cyn y Sabbothau, a'r Sabbothau, a'r dydd cyn y newydd-loerau, a'r newydd-loerau, a'r gwyliau, ac uchel-ddyddiau tŷ Israel.

7 Ac yr oedd hi yn deg ei gwedd ac yn lân iawn yr olwg: a Manasses ei gwr hi a adawsai iddi aur, ac arian, a gweision, a morwynion, ac anifeiliaid, a meusydd, † lle yr oedd hi yn aros.

† *a hi a'u cadwodd hwynt.*

8 Ac nid oedd neb a'r a allai ddwyn drygair yn ei herbyn hi: canys yr ydoedd hi yn ofni Duw yn fawr.

9 Pan glybu hi eiriau drygionus y bobl yn erbyn y tywysog, am eu bod hwy yn llesgáu gan brinder dyfroedd: canys Judith a glywsai'r holl [a] eiriau a lefarasai Ozias wrthynt hwy, fel y tyngasai efe wrthynt hwy y rhoddid y ddinas ym mhen y pùm niwrnod i'r Assyriaid:

ª Pen. 7. 30, 31.

10 Yna hi a anfonodd ei llaw-forwyn, yr hon oedd yn llywodraethu ei holl olud hi, i alw am Ozias, a Chabris, a Charmis, Henuriaid ei dinas.

11 A hwy a ddaethant atti hi: a hithau a ddywedodd wrthynt, Gwrandêwch yn awr arnaf, tywysogion y rhai sydd yn preswylio Bethulia: canys nid iawn eich geiriau chwi y rhai a lefarasoch ger bron y bobl heddyw, o ran y llw hwn a osodasoch, ac a draethasoch rhwng Duw a ‡ ninnau, pan ddywedasoch y rhoddech y ddinas i'n gelynion, oni ddychwelai'r Arglwydd i'n cynnorthwyo ni o fewn y *dyddiau* hyn.

‡ *chwithau.*

12 Ac yn awr pwy ydych chwi, y rhai a demtiasoch Dduw y dydd heddyw, ac a'ch gosodasoch eich hunain yn lle Duw, ym mysg meibion dynion?

13 Ac yn awr § yr ydych chwi yn ceisio 'r Arglwydd Holl-alluog; ond ni chewch wybod dim byth.

§ *profwch yr Arglwydd.*

14 Canys ni fedrwch gael allan ddyfnder calon dŷn, na deall y pethau y byddo efe yn eu meddwl: pa fodd wrth hynny y chwiliwch chwi allan Dduw, yr hwn a wnaeth yr holl bethau hyn? ac y gwybyddwch ei feddwl ef? ac y medrwch ddeall ei amcanion ef? Nid felly, frodyr; na ddigllonwch yr Arglwydd ein Duw ni.

15 Canys oni fyn efe ein cynnorthwyo ni o fewn pùm niwrnod, y mae ganddo ef allu i'n hamddiffyn ni pan fynno, a phob dydd, neu i'n dinystrio ni o flaen ein gelynion.

16 Am hynny na rwymwch gynghorion yr Arglwydd ein Duw ni: [b] canys nid fel dŷn y mae Duw, fel y galler ei fygwth ef; ac nid fel mab dŷn, ‖ fel y galler ei farnu ef.

ᵇ Num. 23. 19.

‖ *fel yr anwadalai.*

17 Gan hynny disgwyliwn iachawdwriaeth oddi wrtho ef, galwn arno ef i'n cynnorthwyo ni; ac efe a wrendy ar ein llef ni, os gwêl efe yn dda.

18 Canys ni chyfododd yn ein hoesoedd ni, ac nid oes y dydd heddyw, na llwyth, na theulu, na † phobl, na dinas o honom ni, a'r sy'n addoli duwiau a wneir â dwylaw [c] megis y bu yn y dyddiau gynt.

† *Neu, thref.*

ᶜ Barn. 2. 11. a 4. 1. a 6. 1.

19 Herwydd paham y rhoddwyd ein tadau ni i'r cleddyf ac yn anrhaith, fel y syrthiasant trwy gwymp mawr o flaen ein gelynion.

20 Ond nid adwaenom ni Dduw arall; am hynny yr ydym ni yn gobeithio na ddirmyga efe mo honom ni, na *neb o'n* hiliogaeth.

21 Canys os delir nyni felly, holl Judea a anghyfanneddir, a'n Cyssegr ni a anrheithir, ac efe a gais ei halogedigaeth hi o'n genau ni.

22 ‡ A lladdfa ein brodyr ni, a chaethiwed y wlad, a diffaethwch ein hetifeddiaeth, a ddychwel efe ar ein pennau ni ym mysg y cenhedloedd, pa le bynnag y gwasanaethom ni; ac ni a fyddwn yn goelbeth, ac yn waradwydd yngolwg y rhai a'n meddiannant.

‡ *Neu, ac efe.*

23 Canys ni arweinir ein caethiwed ni mewn hawddgarwch; eithr trwy warth y gesyd yr Arglwydd ein Duw ni hi.

24 Yn awr gan hynny, O frodyr, dangoswn *esampl* i'n brodyr, o herwydd arnom ni y mae eu calon hwynt, a'r Cyssegr, a'r tŷ, a'r allor sy a'i phwys arnom ni.

25 Heb law hyn oll, diolchwn i'r Arglwydd ein Duw, yr hwn sydd yn ein profi ni, megis *y profodd efe* ein tadau ni.

26 Cofiwch yr hyn a wnaeth efe ag [d] Abraham, a pha fodd y profodd efe Isaac, a'r hyn a wnaed i [e] Jacob ym Mesopotamia Syria, pan ydoedd efe yn bugeilio defaid Laban brawd ei fam.

ᵈ Gen. 22. 1.

ᵉ Gen. 28. 7.

27 Canys ni phrofodd efe ni yn y tân, fel hwynt-hwy er prawf ar eu calonnau hwynt, ac ni ddïalodd arnom ni; eithr yr Arglwydd sydd yn ceryddu y rhai sydd yn nesâu atto ef er mwyn eu rhybuddio.

28 Yna Ozias a ddywedodd wrthi hi, A chalon dda y lleferaist yr hyn oll a ddywedaist: ac nid oes a ddichon wrthwynebu dy eiriau di.

29 O herwydd nid heddyw yr eglurwyd dy ddoethineb di; eithr er dechreuad dy ddyddiau di y gwybu'r holl bobl dy ddoethineb di, canys da yw amcan dy galon di.

30 Ond y bobl oedd yn fawr iawn eu syched, ac a'n cymhellasant ni i wneuthur iddynt fel y llefarasom, ac i ddwyn arnom lw, yr hwn ni throseddwn.

31 Am hynny gweddïa di yn awr trosom ni, o achos mai gwraig grefyddol ydwyt ti; a'r Arglwydd a enfyn law i lenwi ein ffynhonnellau ni, fel na lesgaom mwyach.

32 Yna y dywedodd Judith wrthynt hwy, Gwrandêwch arnaf, a mi a wnaf beth y byddo son am dano trwy 'r holl oesoedd gan feibion ein cenedl ni.

33 Sefwch chwi yn y porth y nos hon, a myfi a af allan, mi a'm llaw-forwyn: ac o fewn y dyddiau, yn y rhai y dywedasoch y rhoddech chwi y ddinas i'n gelynion ni, yr Arglwydd a ymwêl ag Israel trwy fy llaw i.

34 Ond na cheisiwch chwi mo'r ymofyn am fy ngweithred i: canys ni fynegaf fi i chwi, nes gorphen yr hyn yr ydwyf yn ei wneuthur.

35 Yna Ozias a'r tywysogion a ddywedasant wrthi hi, Dos mewn heddwch: a'r Arglwydd Dduw a fyddo o'th flaen di, er dïaledd ar ein gelynion.

36 Felly hwy a ddychwelasant o'r babell, ac a aethant ymaith at eu byddinoedd.

## PEN. IX.

1 *Judith yn ymprydio, 2 ac yn gweddïo ar Dduw, ar iddo lwyddo ei hamcan hi yn erbyn gelynion ei Gyssegr.*

Hydref, 9. B.

YNA Judith a syrthiodd ar ei hwyneb, ac a osododd ludw ar ei phen, ac a ddïosgodd y sach-liain, â'r hwn yr oedd hi wedi ymwisgo; ac ynghylch yr amser yr offrymmwyd yr arogl-darth yn Jerusalem, o fewn tŷ 'r Arglwydd, y prydnawn-gwaith

hwnnw, yno Judith a waeddodd â llef
uchel, ac a ddywedodd,
a Gen. 34. 2. 25. 2 O Arglwydd Dduw fy nhad [a] Simeon,
i'r hwn y rhoddaist gleddyf i ddïal ar y
dieithriaid, y rhai a agorasant groth y for-
wyn trwy halogedigaeth, ac a noethasant y
morddwyd trwy waradwydd, ac a halogas-
ant fforwyned trwy warth, (canys tydi a ar-
chesit na wneid felly, ac etto hwy a wnaeth-
ant felly :)
3 O herwydd paham y rhoddaist ti eu
tywysogion hwynt i'r lladdfa, a hwy wedi
eu twyllo a olchasant eu gwely trwy waed;
a thithau a darewaist y gweision gyd â'r pen-
naethiaid, a'r pennaethiaid ar eu gorsedd-
feydd;
4 Ac a roddaist eu gwragedd hwynt yn
ysglyfaeth, a'u merched mewn caethiwed,
a'u holl anrhaith hwynt yn gyfran i feibion
cu gennyt; y rhai oedd yn gresynu o'th re-
syndod di, ac yn ffieiddio ganddynt haloge-
digaeth eu gwaed, ac a alwasant arnat ti yn
gynnorthwywr: O Dduw, O fy Nuw, gwran-
do arnaf fi *yr hon sydd* weddw.
5 Canys ti a wnaethost, nid yn unig y
pethau hynny, eithr hefyd y pethau a ddi-
gwyddodd o'r blaen, a'r rhai a fyddant rhag
llaw, a thi a feddyliaist am y pethau presen-
nol, a'r pethau a ddeuant rhag llaw.
6 A'r pethau yr wyt ti yn eu hamcanu
sydd bresennol, ac yn dywedyd, Wele ni
yma: o herwydd dy holl ffyrdd di sy barod,
a'th farnedigaethau yn *dy* ragwybodaeth.
7 Wele yr Assyriaid wedi amlhâu trwy
eu nerth, ymddyrchafasant yn eu meirch
a'u marchogion, ymogoneddasant yngh-
adernid y gwŷr traed, ymddiriedasant i'r
darian, ac i'r bwa, ac i'r dafl-ffon, ac nid
ydynt yn gwybod mai tydi, O Arglwydd,
sydd yn torri'r rhyfeloedd: yr Arglwydd yw
dy Enw.
8 Rhwyga di eu cadernid hwynt â'th
nerth, a dryllia eu cryfder hwynt â'th
ddigllonedd: canys y maent hwy wedi
bwriadu halogi dy Gyssegr, a diflwyno'r
Tabernacl lle y mae dy Enw gogoneddus
yn gorphwys, a bwrw i lawr ag arfau gyrn
dy allor di.
9 Edrych ar eu balchder hwynt; anfon
dy ddigofaint ar eu pennau hwynt. Dod
yn fy llaw i, yr hon ydwyf weddw, y nerth
a feddyliais i.
b Barn. 4. 21. a 5. 26. 10 [b] Taro di trwy ddichell fy ngwefusau,
y gwas gyd â'r tywysog, a'r tywysog gyd â'i
was. Torr di eu huchder hwynt trwy law
benyw.
c Barn. 7. 2. 2 Chron. 14. 11. a 16. 8. a 20. 6. 11 [c] Canys nid yw dy nerth di mewn
lliaws, na'th allu yn y rhai cedyrn. Eithr tydi
wyt Arglwydd y rhai gostyngedig, a chyn-
northwywr y rhai bychain, amddiffynwr y
gweiniaid, ymgeleddwr y rhai gwrthodedig,
achubwr y rhai anobeithiol.
† Alt. Lug. att. tit. g. Duw. &c. 12 † Yn ddiammau *ti yw* Duw fy nhad
i, a Duw etifeddiaeth Israel, Llywiawdwr
nefoedd a daear, Creawdwr y dyfroedd, Bre-
nhin pob creadur, gwrando fy ngweddi.
13 A chaniattâ i'm hymadrodd, a'm di-
chell i, fod yn archoll, ac yn niwed yn eu
herbyn hwy, y rhai sydd yn amcanu pe-
thau 'sgeler yn erbyn dy dystiolaeth di, a'th
dŷ sancteiddiol, a choppa Sion, a thŷ meddi-
ant dy feibion.
14 A gwna i bob cenedl a llwyth gydna-
bod mai tydi yw Duw pob gallu a chader-
nid, ac nad oes neb arall yn amddiffynwr i
genedl Israel, ond tydi.

PEN. X.

3 *Judith yn ymdrwsio.* 10 *Y hi a'i morwyn* *Hydref, 9. P.*
*yn myned allan i'r gwersyll.* 17 *Y gwyl-*
*wŷr yn ei dal hi, ac yn ei dwyn at Olo-*
*phernes.*

A Phan ddarfu iddi weiddi ar Dduw Israel,
a gorphen yr holl eiriau hyn,
2 Hi a gyfododd o'r fan y syrthiasai, ac a
alwodd ei llaw-forwyn, ac a aeth i wared i'r
tŷ, yn yr hwn yr oedd hi yn aros dros ddy-
ddiau y Sabbothau, a thros ei gwyliau;
3 A hi a tynnodd ymaith y sach-liain
â'r hwn yr ydoedd hi wedi ymwisgo, ac a
ddïosgodd ddillad ei gweddwdod, ac a
olchodd ei holl gorph drosto â dwfr; ac a
ymenneiniodd ag ennaint gwerthfawr, ac a
osododd wallt ei phen mewn trefn, ac a rodd-
odd feitr arno, ac a wisgodd † ei dillad par- *† dillad ei llawenydd.*
chedig, y rhai y byddai hi arferol o'u gwisgo
ym mywyd ei gŵr Manasses.
4 A hi a gymmerodd sandalau am ei
thraed, ac a wisgodd freichledau, a chad-
wyni, a modrwyau, a clust-dlysau, a'i holl
‡ deganau, ac a ymbingciodd yn wych *‡ dlysau.*
iawn, i hudo llygaid pa wŷr bynnag a'i gwe-
lent hi.
5 Yna hi a roddodd i'w llaw-forwyn
gostrelaid o win, ac ystenaid o olew, ac a
lanwodd gwd, o § beilliaid, ac o ffigys, ac *§ grâs-ŷd.*
o fara ‖ peilliaid: a hi a † ddyblygodd ei *‖ a chaws. Junius.*
holl lestri hyn ynghŷd, ac a'u gosododd *† gryn-hôdd.*
arni.
6 A hwy a aethant ynghŷd i borth dinas
Bethulia, ac a gawsant Ozias, a Henuri-
aid y ddinas, Chabris, a Charmis yn sefyll
wrtho.
7 A phan welsant hwy hi, a bod ei hwy-
nebpryd hi wedi ei newid, a'i dillad wedi eu
newid, hwynt-hwy a ryfeddasant yn ddir-
fawr o herwydd ei glendid hi, ac a ddywe-
dasant wrthi,
8 Duw, Duw ein tadau a roddo i ti ras, ac
a gyflawno dy amcanion, i ogoniant meibion
Israel, a dyrchafiad Jerusalem. Yna hwy a
addolasant Dduw.
9 A hi a ddywedodd wrthynt, Gorchym-
ynwch agoryd i mi borth y ddinas, fel yr
elwyf allan i gyflawni'r ‡ geiriau a lefara- *‡ pethau.*
soch chwi wrthyf fi. Felly hwy a orchy-
mynasant i'r llangciau agori iddi, megis ag
y dywedasai hi: a hwythau a wnaethant
felly.
10 Yna yr aeth Judith allan, hi a'i llaw-
forwyn gyd â hi. A gwŷr y ddinas a edrych-
asant ar ei hol, nes ei fod hi ddisgyn o'r mynydd,
a myned trwy'r dyffryn; ac ni allent wedi
hynny ei gweled hi.
11 A hwy a aethant ar hŷd y dyffryn yn
uniawn. A gwyliadwriaeth gyntaf yr Assy-
riaid a gyfarfu â hi,
12 Ac a'i daliasant hi, ac a ofynnasant
iddi, O ba bobl yr wyt ti? ac o ba le yr wyt
ti yn dyfod? ac i ba le yr wyt ti yn myned?
A hi a ddywedodd, Merch ydwyf o'r Hebre-
aid, a ffoi yr ydwyf oddi wrthynt hwy: canys
hwy a roddir yn ysglyfaeth i chwi.
13 Ac yr ydwyf fi yn dyfod ger bron
Olophernes pen-tywysog eich llu chwi, fel y
mynegwyf eiriau gwir, ac y dangoswyf ger
ei fron ef y ffordd yr â efe, ac y goresgyn yr
holl fynydd-dir, ac ni dderfydd am gorph,
nac einioes un o'i wŷr ef.
14 Pan glybu y gwŷr ei geiriau hi, hwy a
ddaliasant sylw ar ei hwynebpryd hi, ac yr
oedd hi yn rhyfeddol ganddynt ger eu bron hwynt,
a hwy a ddywedasant wrthi hi,

15 Tydi a gedwaist dy einioes, gan i ti ddyfod i wared ar frys ger bron ein harglwydd ni: yn awr gan hynny tyred at ei babell ef, a *rhai rai* o honom a'th arweiniant di, nes iddynt hwy dy roddi di yn ei law ef.

16 A phan sefych di ger ei fron ef, nac ofna yn dy galon, eithr mynega yn ol dy ymadroddion, ac efe a wna yn dda i ti.

17 Yna hwy a etholasant gan wr o honynt, ac a barottoisant gerbyd iddi hi, ac i'w llawforwyn, a hwy a'i dygasant hi i babell Olophernes.

18 Yna yr oedd rhedegfain trwy'r holl wersyll: canys ei dyfodiad hi a aeth yn gyhoedd yn y pebyll: a hwy a ddaethant ac a safasant o'i hamgylch hi, canys yr oedd hi yn sefyll o'r tu allan i babell Olophernes, nes iddynt hwy fynegi iddo ef o'i herwydd hi.

19 A hwy a ryfeddasant o herwydd ei glendid hi, ac a ryfeddasant o'i herwydd hi wrth feibion Israel; a dywedodd pob un wrth eu gilydd, Pwy a ddirmygai'r bobl hyn, sy a'r fath wragedd yn eu mysg? Diau nid yw dda adael un gwr o honynt; canys pe gadewid hwynt, hwy a allent dwyllo'r holl ddaear.

20 A'r rhai oedd yn cysgu yn agos at Olophernes a aethant allan, a'i holl weision ef, ac a'i dygasant hi i'r babell.

21 Ac Olophernes oedd yn gorphwys ar ei wely mewn canopi, yr hwn ydoedd wedi ei weu o borphor, ac aur, a smaragdus, a meini gwerthfawr.

22 A hwy a fynegasant iddo ef o'i phlegid hi: ac efe a aeth allan i'r cyntedd o flaen ei babell, a llusernau arian yn myned o'i flaen ef.

23 A phan ddaeth Judith ger ei fron ef, a'i weision, hwynt oll a ryfeddasant o herwydd glendid ei hwynebpryd hi. Hithau gan syrthio ar ei hwyneb a ymgrymmodd iddo. A'i weision ef a'i codasant hi i fynu.

## PEN. XI.

Hydref, 10. B. 1 *Olophernes yn gofyn i Judith yr achos o'i dyfodiad; 6 A hithau yn dywedyd iddo hynny, a pha fodd a pha bryd y gall efe orchfygu: 20 Yntau yn hoffi ei doethineb a'i glendid hi.*

YNA Olophernes a ddywedodd wrthi hi, Cymmer gyssur, wraig, nac ofna yn dy galon; canys ni wneuthum i niweid i neb a fynnai wasanaethu Nabuchodonosor brenhin yr holl ddaear.

2 Ac yn awr dy bobl di, y rhai sydd yn aros yn y mynyddoedd, oni buasai iddynt hwy fy nirmygu, ni ddyrchafaswn fy ngwaywffon yn eu herbyn hwynt: ond hwy a wnaethant hyn iddynt eu hunain.

3 Ond yn awr dywed i mi paham y ffoaist ti oddi wrthynt hwy, ac y daethost attom ni; canys ti a ddaethost i ddiogelwch. Cymmer gyssur; byw fyddi di y nos hon, a rhag llaw.

4 Canys nid oes *neb* a wna niweid i ti, ond a wnel yn dda i ti, megis ag y gwneir i weision fy arglwydd frenhin Nabuchodonosor.

5 Yna Judith a ddywedodd wrtho ef, Derbyn eiriau dy wasanaeth-ferch, a gâd i'th law-forwyn lefaru ger dy fron di, ac ni fynegaf gelwydd i'm harglwydd y nos hon.

6 Ac os tydi a ganlyni eiriau dy law-forwyn, Duw a wna yn gwbl y peth trwot ti, ac ni phalla fy arglwydd o'i amcanion.

7 Fel y mae Nabuchodonosor brenhin yr holl ddaear yn fyw, ac mai byw ei nerth ef, yr hwn a'th anfonodd di i uniawnu pob enaid; nid yn unig dynion a'i gwasanaethant ef trwot ti, eithr bwystfilod y maes, a'r ysgrubliaid, ac ehediaid y nefoedd a fyddant byw trwy dy nerth di, dan Nabuchodonosor a'i holl dy ef.

8 Canys ni a glywsom *son* am dy ddoethineb di, a chyfrwystra dy galon; ac fe a fynegwyd trwy'r holl ddaear, dy fod di yn unig yn † rhagorol trwy'r holl deyrnas, ac yn alluog mewn gwybodaeth, ac yn rhyfedd ynghyfarwyddyd rhyfel. † mewn cymeriad.

9 Ac yn awr am y peth a lefarodd Achior yn dy eisteddfod di, nyni a glywsom ei ymadroddion ef: canys gwŷr Bethulia a'i ‡ daliasant ef, ac efe a fynegodd iddynt yr hyn oll a lefarasai efe wrthyt ti. ‡ cadwasant.

10 Am hynny, O Arglwydd lywiawdr, na ddiystyra ei air ef, ond gosod ef at dy galon; canys gwir yw: o herwydd nid oes dial i'w gymmeryd yn erbyn ein cenedl ni, ac ni ddichon y cleddyf eu gorchfygu hwynt, oddi eithr iddynt hwy bechu yn erbyn eu Duw.

11 Ac yn awr rhag bod fy arglwydd yn ddiobaith a methu ganddo yr hyn a amcanodd, marwolaeth a syrthiodd arnynt hwy, a phechod a'u daliodd hwynt, trwy'r hwn y digllonant eu Duw, pa bryd bynnag y gwnelont anweddeidd-dra.

12 O blegid i'w lluniaeth hwynt ddarfod, ac i'w dwfr hwynt brinhâu, hwy a ymgynghorasant ar ruthro i'r anifeiliaid, ac y maent ar fedr gwastraffu yr hyn oll a waharddodd Duw iddynt hwy trwy ei gyfraith ei fwytta.

13 Ac maent ar fedr treulio blaenffrwyth yr ŷd, a degwm y gwin, a'r olew, y rhai a gadwasant yn sanctaidd i'r offeiriaid sydd yn sefyll yn Jerusalem ger bron ein Duw ni; y rhai ni pherthyn i neb o'r bobl gyffwrdd â hwynt â'u dwylaw.

14 Hefyd hwy a anfonasant i Jerusalem, o herwydd y rhai sy'n trigo yno a wnaethant felly, rai i ddwyn iddynt hwy gennad o'r seneddr.

15 A phan ddygont hwy air iddynt, yna hwy a wnant *felly*: *a* hwy a roddir i ti i'w dinystrio y dwthwn hwnnw.

16 Am hynny myfi dy wasanaeth-ferch yn gwybod hyn oll, a ffoais o'u gŵydd hwynt: a Duw a'm hanfonodd i wneuthur â thi y cyfryw bethau ag y rhyfedda'r holl fyd, *a*'r sawl a'u clywant oll.

17 Canys dy wasanaeth-ferch sydd grefyddol, ac yn addoli Duw nef ddydd a nos. Ac yn awr gâd i mi aros gyd â thi, fy arglwydd; a'th wasanaeth-ferch a â y nos allan i'r dyffryn, a mi a weddïaf Dduw, ac efe a fynega i mi pa bryd y gwnaethant hwy eu pechodau:

18 A minnau a ddeuaf *ac* a'i mynegaf i ti, fel yr elych dithau allan â'th holl lu; ac ni bydd neb o honynt hwy a allo dy wrthwynebu di.

19 Ac mi a'th arweiniaf di trwy ganol Judea, nes i ti ddyfod o flaen Jerusalem; a mi a osodaf dy eisteddfa di yn ei chanol hi, a thi a'i hymlidi hwynt fel defaid heb fugail, ac ni chyfarth ci â'i dafod i'th erbyn: canys hyn a ddywetpwyd i mi trwy fy rhag-wybodaeth, ac a fynegwyd i mi, a myfi a anfonwyd i fynegi i ti.

20 A'i geiriau hi a ryglyddasant fodd Olophernes, a'i holl weision ef: a hwy a

ryfeddasant o herwydd ei doethineb hi, ac a ddywedasant.

21 Nid oes mor fath wraig o bryd a gwedd a doeth ymadrodd, o gwrr bwy-gilydd i'r ddaear.

22 Ac Olophernes a ddywedodd wrthi hi, Da y gwnaeth Duw, yr hwn a'th anfonodd di o flaen y bobl, fel y byddai nerth yn ein dwylaw ni, a distryw ar y rhai a ddirmygant fy arglwydd.

23 Ac yn awr yr wyt ti yn lan-deg yr olwg, ac yn ddoeth yn dy ymadrodd: os tydi a wnei megis y lleferaist, dy Dduw di fydd yn Dduw i mi, a thi a gei aros yn nhŷ Nabuchodonosor y brenhin, ac a fyddi yn enwog trwy 'r holl ddaear.

## PEN. XII.

Hydref, 10 P. 2 *Judith heb fwytta o fwyd Olophernes: 7 Ac yn aros yn y gwersyll dri diwrnod, a phob nos yn myned allan i weddïo. 13 Bagoas yn dywedyd wrth Judith am fod yn llawen gyd ag Olophernes, 20 ac yntau o wir lawenydd am ei chael hi atto, yn yfed llawer.*

YNA efe a orchymynodd ei dwyn hi i mewn, lle yr oedd ei drysorau ef ynghadw, ac a archodd hulio bwrdd iddi hi o'i fwydydd ei hun, ac o'i win i yfed.

2 A Judith a ddywedodd, [a] Ni fwyttâf fi o honynt, rhag bod camwedd: eithr o'r pethau hyn a ddaeth gyd â mi y bydd *fy* nhraul.

[a] Gen. 43. 32. Dan. 1. 8. Tob. 1. 11.

3 Yna Olophernes a ddywedodd wrthi, Os derfydd y pethau sydd gyd â thi, o ba le y gallwn ni roddi eu cyffelyb hwynt i ti? canys nid oes gyd â ni *neb* o'th genedl di.

4 A Judith a ddywedodd wrtho ef, Fel y mae dy enaid di yn fyw, fy arglwydd, ni threulia dy wasanaeth-ferch yr hyn sydd gyd â mi, hyd oni wnêl yr Arglwydd trwy fy llaw i yr hyn y rhoddodd efe ei fryd arno.

5 Yna gweision Olophernes a'i dygasant hi i'r babell; a hi a gysgodd hyd hanner nos, ac a gyfododd ar y wyliadwriaeth foreol,

6 A hi a anfonodd at Olophernes, gan ddywedyd, Gorchymyned fy arglwydd yn awr ollwng dy wasanaeth-ferch i fyned allan i weddïo.

7 Yna Olophernes a orchymynodd i wylwŷr ei gorph ef na rwystrent hi. Felly hi a arhosodd yn y gwersyll dri diwrnod; a hi a ai allan liw nos i ddyffryn Bethulia, ac a ymolchai mewn ffynnon ddwfr wrth y gwersyll.

8 A phan ddeuai hi i fynn, hi a weddïai ar Arglwydd Dduw Israel, ar iddo ef gyfarwyddo ei ffordd hi er dyrchafiad meibion ei phobl.

9 Felly hi a ai i mewn yn lân, ac a drigai yn y babell, hyd oni fwyttaei hi ei bwyd yn yr hwyr.

10 Ac ar y pedwerydd dydd Olophernes a wnaeth wledd i'w weision ei hun yn unig, ac ni wahoddodd efe neb o'r swyddogion i'r wledd.

11 Yna y dywedodd efe wrth Bagoas ei 'stafellydd, yr hwn oedd swyddog ar yr hyn oll a feddai efe, Dos, cais gan yr Hebrêes yn awr, yr hon sydd gyd â thi, ddyfod attom ni, fel y bwyttao hi, ac yr yfo hi gyd â ni.

12 Canys wele cywilydd yw i'n hwyneb ni ollwng ymaith y fath wraig; heb ymddiddan â hi: oni bydd i ni ei denu hi attom ni, hi a'n gwatwar ni.

13 Yna Bagoas a aeth ymaith o ŵydd Olophernes, ac a ddaeth i mewn atti hi, ac a ddywedodd, Na fydded blin gan y ferch lân yma ddyfod at fy arglwydd, i'w hanrhydeddu ger ei fron ef, ac i yfed gyd â ni win yn hyfryd, ac i fod y dydd hwn fel un o ferched meibion Assyria, y rhai sydd yn sefyll yn nhŷ Nabuchodonosor.

14 A Judith a ddywedodd wrtho ef, Pwy ydwyf fi fel y dywedwn yn erbyn fy arglwydd? Canys beth bynnag a fyddo bodd-lon ganddo ef, myfi a'i gwnaf yn ebrwydd; a hyn fydd i mi yn llawenydd hyd ddydd fy marwolaeth.

15 Felly hi a gyfododd, ac a ymharddodd â dillad, ac â phob addurn-wisgoedd gwragedd; a'i llaw-forwyn hi a ddaeth, ac a ledodd iddi hi ar y llawr, ar gyfer Olophernes, y crwyn a gawsai hi gan Bagoas i'w chyfraid ei hun beunydd, fel yr eisteddai hi, ac y bwyttaei arnynt.

16 Pan ddaeth Judith i mewn ac eistedd, yna calon Olophernes a ddychlammodd o'i herwydd hi, a'i yspryd ef a gynhyrfodd, ac yr oedd yn chwannog iawn i gyd-orwedd â hi: canys yr oedd efe yn gwylied amser i'w thwyllo hi, er y dydd y gwelsai efe hi.

17 Yna Olophernes a ddywedodd wrthi hi, Yf yn awr, a bydd lawen gyd â ni.

18 A Judith a ddywedodd, Mi a yfaf yn awr, O arglwydd, canys fy einioes a fawrygwyd heddyw, rhagor yr holl ddyddiau er pan y'm ganed.

19 Yna y cymmerodd hi, ac y bwyttaodd, ac yr yfodd ger ei fron ef, yr hyn a barottoisai ei llaw-forwyn hi.

20 Ac Olophernes, a aeth yn llawen o'i phlegid hi, ac a yfodd o win fwy o lawer nag a yfasai efe mewn un dydd er pan anesid ef.

## PEN. XIII.

2 *Gadael Judith ei hunan gyd ag Olophernes, yn ei babell ef: 4 Hithau yn gweddïo ar Dduw am roddi iddi nerth, 8 ac yn torri ei ben ef, pan oedd efe yn cysgu: 10 Ac yn dychwelyd og ef i Bethulia: 11 Hwythau yn ei weled ac yn ei chanmol hi.* Hydref, 11. B.

A Phan hwyrhaodd hi, ei weision ef a frysiasant i fyned ymaith; a Bagoas a gauodd ei babell ef o'r tu allan, ac a ollyngodd ymaith y rhai oedd yn sefyll ger bron ei arglwydd, a hwy a aethant i'w gwelyau. Canys yr oeddynt hwy oll yn ddiffygiol, o herwydd hir y buasai 'r wledd.

2 A Judith a adawyd ei hun yn y babell: ac Olophernes oedd yn gorwedd ar ei wely, canys yr oedd efe wedi ymlenwi o [a] win.

[a] Eccles. 31. 20, 25.

3 A Judith a ddywedodd wrth ei llaw-forwyn, am iddi hi sefyll o'r tu allan i'w 'stafell, a disgwyl am ei dyfodiad hi allan, megis *y buddai hi* beunydd. O blegid hi a ddywedodd yr ai hi allan i'w gweddi. Ac wrth Bagoas y dywedodd hi yr un ffunud.

4 Felly pawb a aethant ymaith o'i gŵydd hi, ac ni adawyd neb yn yr ystafell o fychan i fawr. Yna Judith yn sefyll wrth ei wely ef a ddywedodd yn ei chalon, O Arglwydd Dduw pob nerth, edrych di yr awr hon ar waith fy nwylaw, er dyrchafiad i Jerusalem.

*swyddog* ar ei eiddo ef oll, Deffro yn awr ein harglwydd ni: canys y caeth-weision a feiddiasant ddyfod i wared yn ein herbyn ni i ryfel, fel y difether hwynt yn gwbl.

14 Yna yr aeth Bagoas i mewn, ac a gurodd wrth ddrws y babell: o blegid efe a dybiodd ei fod ef yn cysgu gyd â Judith.

15 Pan nad attebodd neb, efe a agorodd, ac a aeth i mewn i'r ystafell, ac a'i cafodd ef wedi ei daflu ar y llawr yn farw, a'i ben wedi ei ddwyn ymaith oddi wrtho.

† Yna.

16 † Am hynny efe a waeddodd â llef uchel, ag wylofain, ac â griddfan, ac â bloedd ddirfawr, ac a rwygodd ei ddillad.

17 Yna efe a aeth i'r babell lle y byddai Judith yn aros, ac ni's cafodd hi, am hynny efe a neidiodd at y bobl, ac a waeddodd,

18 Y caeth-weision hyn a wnaethant ddirdra. Un wraig o'r Hebreaid a wnaeth waradwydd i dŷ brenhin Nabuchodonosor: canys wele Olophernes *yn gorwedd* ar y ddaear, a'i ben heb fod gantho.

19 Pan glybu tywysogion llu'r Assyriaid hyn, hwy a rwygasant yn y fan eu dillad, a'u meddyliau hwy a gythryblwyd yn ddirfawr. Ac yr oedd llefain a gweiddi mawr iawn o fewn y gwersyll.

## PEN. XV.

Hydref, 12. B.

*1 Ymlid yr Assyriaid, a'u lladd. 8 Yr Arch-offeiriad yn dyfod i weled Judith: 11 Rhoi dodrefn Olophernes i Judith: 13 A'r gwragedd yn ei choroni hi â garlantau.*

A Phan glywsant hwy y rhai oedd yn y pebyll, hwy a synnasant o herwydd y weithred.

2 Ac ofn a dychryn a syrthiodd arnynt hwy, fel nad oedd neb mwyach a allai aros yn wyneb eu gilydd, eithr yn wasgaredig y ffoisant o un fryd i holl ffyrdd y gwastadedd a'r mynydd-dir.

3 A'r rhai a wersyllasent yn y mynyddoedd o amgylch Bethulia a ffoisant. Yna meibion Israel, *sef* pob rhyfelwr o honynt, a ruthrasant arnynt hwy.

4 Yna Ozias a anfonodd i Bethomasthem, ac i Bebai, ac i Chobai, ac i Chola, ac i holl derfynau Israel, rai i fynegi iddynt hwy yr hyn a ddarfuasai, ac i beri iddynt hwy oll ruthro ar y gelynion, i'w difetha hwynt.

5 A phan glybu meibion Israel, hwy a ruthrasant oll o un fryd i'w herbyn hwynt hyd Choba. Felly hefyd y rhai a ddaethai o Jerusalem, ac o'r holl fynydd-dir, (canys *rhai* a fynegasai iddynt hwy yr hyn a wnaethid yngwersyll eu gelynion,) a'r rhai oedd yn Galaad, ac yn Galile, a'u † hymlidiasant hwynt â phla mawr, nes iddynt fyned heibio i Ddamascus, a'i hardaloedd.

† gorchfygasant.

6 A'r rhan arall, y rhai oedd yn trigo yn Bethulia, a ruthrasant i wersyll yr Assyriaid, ac a'u hyspeiliasant hwy, ac a ymgyfoethogasant yn ddirfawr.

7 A meibion Israel, y rhai a ddychwelasant o'r lladdedigaeth, a berchennogasant y gweddill. A'r trefydd a'r dinasoedd, y rhai oedd yn y mynydd-dir, ac yn y dyffryn-dir, a gawsant anrhaith fawr: canys *eu* lliaws oedd fawr iawn.

8 Yna Joacim yr Arch-offeiriad, a Henuriaid meibion Israel, y rhai oedd yn trigo yn Jerusalem, a ddaethant i edrych y daioni a wnaethai Duw i Israel, ac i gael gweled Judith, ac i ymddiddan yn heddychlon â hi.

9 A phan ddaethant hwy atti hi, hwy a'i bendithiasant hi o un-fryd, ac a ddywedasant wrthi; Ti yw dyrchafiad Jerusalem; ti yw mawr ogoniant Israel; ti yw mawr ‡ barch ein cenedl ni.

‡ orucheliaeth.

10 Canys ti a wnaethost hyn oll â'th law di; ti a wnaethost ddaioni ag Israel: a Duw sy foddlon iddynt, Bendigedig fyddych di gan yr Holl-alluog Arglwydd byth yn dragywydd. A'r holl bobl a ddywedasant, Felly y byddo.

11 A'r bobl a yspeiliasant y gwersyll dros ddeng-niwrnod ar hugain. A hwy a roddasant i Judith babell Olophernes, a'i holl lestri arian, a'r gwelyau, a'r cawgiau, a'i holl ddodrefn ef. A hi a'u cymmerth *hwynt, ac* a'u gosododd ar ei mul, ac a barottodd ei menni, ac a'u llwythodd arnynt.

12 Yna holl wragedd Israel a redasant ynghŷd i'w gweled hi, ac a'i bendithiasant hi, ac a wnaethant ddawns yn eu mysg eu hunain iddi hi: a hi a gymmerodd ganghennau yn ei dwylaw, ac a'u rhoddes hefyd i'r gwragedd oedd gyd â hi.

13 Hwythau hefyd a'i coronasant hi ag olewŷdd, a'r hon oedd gyd â hi. A hi a aeth o flaen yr holl bobl mewn dawns, gan arwain yr holl wragedd. A holl wŷr Israel a ganlynasant yn arfog, â choronau, ac â chaniadau yn eu geneuau.

## PEN. XVI.

Hydref, 12. P.

*1 Cân Judith. 12 Judith yn cyssegru dodrefn Olophernes i'r Arglwydd; 23 Ac yn marw yn Bethulia, yn wraig weddw o anrhydedd mawr. 24 A holl Israel yn cwyno ei marwolaeth hi.*

YNA y dechreuodd Judith ganu'r gyffes hon yn holl Israel; a'r holl bobl a ganasant y † gân hon ar ei hol hi.

† moliant hon.

2 A Judith a ddywedodd, Dechreuwch i'm Duw i â thympanau, cenwch iddo ef Psalmau, a mawl; dyrchefwch *ef*, a gelwch ar ei enw.

3 Canys Duw sydd yn torri'r rhyfeloedd. O herwydd yn y gwersylloedd ym mysg y bobl y gwaredodd efe fi o law fy erlidwŷr.

4 Assur a ddaeth o'r mynyddoedd allan o'r gogledd; efe a ddaeth â miloedd yn ei luoedd, ei [a] lliaws ef a argaeodd yr afonydd, a'i farchogion ef a orchuddiasant y bryniau.

[a] Pen. 2. 19.

5 Efe a ddywedodd y llosgai fy ardaloedd i, ac y lladdai fy ngwŷr ieuaingc â'i gleddyf, ac y curai'r plant sugno wrth y llawr, ac y rhoddai fy rhai bychain yn yspail, a'm gwyryfon yn ysglyfaeth.

6 Ond yr Holl-alluog Arglwydd a'u diddymmodd hwynt trwy law banyw.

7 Canys ni syrthiodd y cadarn trwy wŷr ieuaingc, ac nid meibion Titan a'i tarawsant ef, ac nid y cawri uchel a ymosodasant yn ei erbyn ef: eithr Judith merch Merari trwy ei hwynebpryd a'i gwanhychodd ef.

8 O blegid hi a ddiosgodd ddillad ei gweddwdod, er dyrchafiad y rhai gorthrymmedig o Israel, hi a irodd ei hwyneb ag ennaint, ac a gylymmodd ei gwallt mewn meitr, ac a gymmerth wisg liain i'w dwyllo ef.

9 Ei sandalau hi a hudodd ei lygaid ef, a'i glendid hi a garcharodd ei feddwl ef; y cleddyf a aeth trwy ei wddf ef.

10 Y Persiaid a grynasant o herwydd ei hyfder hi; a'r Mediaid a ‡ gythryblwyd o herwydd ei hyder hi.

‡ waradwyddwyd.

11 Yna fy rhai gostyngedig a orfoleddasant, a'u rhai gweiniaid a floeddiasant: a † hwythau a ofnasant, dyrchafasant eu llef, a dychwelasant. († *yr Assuriaid.*)

12 Meibion llangcesau a'u trywanasant hwy, ac a'u harchollasant fel plant ffoaduriaid: difethwyd hwynt gan ryfel yr Arglwydd fy Nuw i.

13 Mi a ganaf i'r Arglwydd gân ‡ newydd. O Arglwydd, ti ydwyt fawr, a gogoneddus, rhyfeddol mewn nerth, ac anorchfygol. (‡ *moliant.*)

14 Gwasanaethed yr holl greaduriaid dydi; canys ti a ddywedaist, a hwynt a wnaed; ti a anfonaist dy Yspryd, ac efe a'u creodd hwynt; ac nid oes neb a wrthwynebo dy lef di.

15 Canys y mynyddoedd a gyffroant oddi ar eu seiliau gyd â'r dyfroedd, y creigiau hefyd a doddant fel cwyr yn dy wydd di; etto trugarog wyt i'r rhai a'th ofnant.

16 Canys yr holl aberthau sydd ry fychan yn arogl peraidd, a'r holl frasder sydd ry fychan yn boeth-offrwm i ti: ond yr hwn sydd yn ofni'r Arglwydd sydd fawr bob amser.

17 Gwae'r Cenhedloedd sydd yn ymgodi yn erbyn fy nghenedl. Yr Arglwydd Holl-alluog a ddial arnynt hwy yn nydd y farn, trwy anfon tân a phryfed ar eu cnawd hwynt: a hwy a wylant gan *eu* clywed yn dragywydd.

18 A phan aethant hwy i Jerusalem, hwy a addolasant yr Arglwydd. A hwy'n gyntaf ag y purwyd y bobl, hwy a offrymmasant eu poeth-offrymmau, a'u hadduneddau a'u rhoddion.

19 Judith hefyd a offrymmodd holl lestri Olophernes, y rhai a roddasai y bobl iddi hi; a hi a roddodd y cenopi a gymmerasai hi o'i 'stafell ef, yn offrwm i'r Arglwydd.

20 Felly y bobl a fuant lawen yn Jerusalem ger bron y Cyssegr dros dri mis: a Judith a arhosodd gyd â hwynt.

21 Ac wedi'r dyddiau hynny, pob un a ddychwelodd i'w etifeddiaeth ei hun; A Judith a aeth i Bethulia, ac a drigodd yn ei chyfoeth ei hun, ac yr oedd hi yn ei hamser yn ogoneddus trwy'r holl wlad.

22 A llawer oedd a'i chwennychasant hi; ond ni chafodd gwr ei hadnabod hi holl ddyddiau ei heinioes, o'r awr y bu farw Manasses ei gwr hi, ac y casglwyd ef at ei bobl.

23 A hi a aeth rhagddi yn fawr iawn, ac a heneiddiodd yn nhŷ ei gwr, yn bum mlwydd a chant; ac a ollyngodd ei llawforwyn yn rhydd. A hi a fu farw yn Bethulia: a hwy a'i claddasant hi § yn medd ei gwr Manasses. (§ *yn ogof.*)

24 A thŷ Israel a alarodd am dani hi [b] saith o ddyddiau. A chyn iddi hi farw, hi a rannodd ei golud i'r holl rai nesaf i Manasses ei gwr, ac i'r rhai nesaf o'i chenedl ei hun. ([b] Gen. 50. 10.)

25 Ac nid oedd mwyach neb a ddychrynai feibion Israel, yn holl ddyddiau Judith, nac wedi ei marwolaeth hi ddyddiau lawer.

---

# Y RHAN ARALL O BENNODAU LLYFR ESTHER,

## HEB FOD YN YR HEBREAEG, NAC YN Y CALDEAEG.

Rhan o'r ddegfed bennod yn ol y Groeg.

5 *Mardocheus yn cofio ac yn deongl ei freuddwyd am yr afon a'r ddwy ddraig.*

YNA y dywedodd Mardocheus, Duw a wnaeth hyn.

5 Canys cof yw gennyf [a] y breuddwyd a welais am y pethau hyn: o blegid ni phallodd dim o hynny. ([a] Edrych Pen. 11. 2, &c.)

6 Ffynnon fechan a aeth yn afon; ac yr oedd goleuni, a haul, a dwfr mawr. Esther yr hon a briododd y brenhin, ac a wnaeth efe yn frenhines, yw'r afon.

7 A'r ddwy ddraig ydwyf innau, ac Aman.

8 A'r cenhedloedd oedd y rhai a ddaethant i ddifetha enw'r Iuddewon.

9 A'm cenedl i yw'r Israel yma, y rhai a floeddiasant ar yr Arglwydd, a hwy a achubwyd: ie yr Arglwydd a achubodd ei bobl, a'r Arglwydd a'n gwaredodd ni o'r drygau hyn oll; a Duw a wnaeth arwyddion a gwyrthiau mawrion, y rhai ni wnaethpwyd ym mysg y cenhedloedd.

10 Am hynny y gwnaeth efe ddau goelbren, un i bobl Dduw, a'r llall i'r cenhedloedd oll.

11 A'r ddau goelbren hyn a ddaethant ger bron Duw, † dros yr holl genhedloedd, erbyn awr, ac amser, a dydd farn. († *ym mysg.*)

12 Felly Duw a feddyliodd am ei bobl, ac a gyfiawnhaodd ei etifeddiaeth.

13 Am hynny y dyddiau hynny fyddant iddynt hwy yn y mis Adar, ar y pedwerydd *dydd* ar ddeg, a'r pymthegfed o'r mis, gyd ag ymgyfarfod, a llawenydd, a hyfrydwch ger bron Duw, ym mysg ei bobl ef byth dros *bob* oes.

PEN. XI.

2 *Bonedd a gradd Mardocheus.* 6 *Y mae efe yn breuddwydio o ddwy ddraig yn dyfod allan i ymladd;* 10 *Ac o ffynnon fechan, yr hon a aeth yn ddwfr mawr.*

YN y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Ptolomeus a Chleopatra, y dug Dositheus, yr hwn a ddywedodd ei fod yn offeiriad ac yn Lefiad, a'i fab Ptolomeus, y llythyr hwn am y Purim, yr hwn y dywedasant mai *hwnnw* oedd, ac i Lysimachus fab Ptolomeus, yr hwn oedd yn Jerusalem, ei gyfieithu.

2 Yr ail flwyddyn o deyrnasiad Artaxer- 3185.
xes fawr, y *dydd* cyntaf o fis Nisan, y breuddwydiodd Mardocheus mab Jairus, fab Simei, fab Cisai, o lwyth Benjamin,

3 Yr hwn oedd Iuddew, ac yn trigo yn ninas Susa, gwr mawr, am ei fod yn weinidog yn llys y brenhin.

4 Ac *un* oedd efe o'r gaethglud a gaeth- 3405.
gludasai Nabuchodonosor brenhin Babilon o Jerusalem, gyd â Jechonias Brenhin Judah. A dyma ei freuddwyd ef.

5 Wele, sain twrf, taranau, a daeargryn, a chythrwfl ar y ddaear.

6 Ac wele, dwy ddraig fawr a ddaethant allan yn barod bob un o honynt i ymladd; a'u llef oedd fawr.

7 Ac wrth eu llef hwynt yr ymbarottôdd yr holl genhedloedd i ryfel, fel yr ymladdent yn erbyn y genedl gyfiawn.

8 Ac wele ddiwrnod tywyll a niwlog,

cystudd ac ing, drygfyd, a thrallod mawr
ar y ddaear.
9 Yna y trallodwyd yr holl genedl gyf-
iawn, gan ofni eu drygfyd, ac yn barod i'w
difetha.
10 Yna hwy a waeddasant ar Dduw, ac
wrth eu gwaedd hwynt y daeth megis o ffyn-
non fechan, afon fawr, *a* dwfr lawer.
11 Goleuni hefyd a haul a gyfododd, a'r
rhai isel-radd a ddyrchafwyd, ac a ddifasant
y gogoneddus.
12 A phan gyfododd Mardocheus, yr hwn
a welsai 'r breuddwyd hwn, a'r hyn a fynnai
Duw ei wneuthur; bu y breuddwyd hwn
ganddo yn ei galon, a thrwy bob rheswm y
chwennychai efe ei wybod ef, hyd onid oedd
hi yn nos.

## PEN. XII.

*2 Mardocheus yn datguddio bradwriaeth y
ddau Eunuch; 5 A'r brenhin am hynny yn
ei gymmeryd ef i'w lys, ac yn ei obrwyo ef.*

AC yr oedd Mardocheus yn gorphwys yn
y llys, gyd â Gabatha a Tharra, dau o
'stafellyddion y brenhin, y rhai oedd yn
cadw y llys:
a Esther 2. 21. a 6. 2. 2 [a] Efe a glybu hefyd eu hamcanion
hwynt, ac a chwiliodd allan eu bwriad
hwynt, ac a gafodd wybod eu bod hwy yn
barod i roi llaw ar y brenhin Artaxerxes: ac
efe a ddangosodd i'r brenhin am danynt hwy.
3 A'r brenhin a holodd ei ddau 'stafell-
ydd, a hwy a gyffesasant, ac a grogwyd.
4 Yna 'r ysgrifenodd y brenhin y pethau
hyn mewn coffadwriaeth. Mardocheus he-
fyd a 'sgrifenodd yr un pethau.
5 A'r brenhin a orchymynodd i Mardo-
cheus wasanaethu yn y llys, ac a roddes iddo
ef roddion am hyn.
6 Eithr Aman *mab* Amadatheus yr Agag-
iad, yr hwn oedd ogoneddus yngolwg y
brenhin, a geisiodd ddrygu Mardocheus a'i
bobl, o achos dau ystafellydd y brenhin.

## PEN. XIII.

*1 Copi o lythyr y brenhin i ddifetha 'r Iudde-
won: 8 A gweddi Mardocheus drostynt
hwy.*

DYMA hefyd gopi y llythyr. Y brenhin
mawr Artaxerxes sydd yn ysgrifenu
hyn at y tywysogion, a'r rhaglawiaid, y rhai
sydd dano ef, ar saith ar hugain a chant o
daleithiau, o India hyd Ethiopia.
2 Gan fy mod i yn arglwydd ar genhed-
loedd lawer, ac yn llywodraethu 'r holl fyd,
mi a ewyllysiais heb ymddyrchafu o her-
wydd cadernid awdurdod, eithr gan ly-
wodraethu yn addfwyn, ac yn llonydd bob
amser, osod y deiliaid yn wastadol mewn
bywyd llonydd, a gwneuthur y deyrnas yn
heddychol, ac yn hyfordd, hyd yr eithaf-
oedd, *ac* adnewyddu heddwch, yr hwn y
mae pob dŷn yn ei chwennych.
3 A phan ymgynghorais i â'm cynghor-
wŷr pa fodd y dygid hyn i ben, Aman,
yr hwn a aeth yn rhagorol mewn doe-
thineb gyd â nyni, ac sydd hysbys ei fod
mewn dianwadal ewyllys da, a sicr ffydd
londeb, yr hwn sydd yn cael yr ail anrhy-
dedd yn y deyrnas,
4 A fynegodd i ni fod pobl atgas wedi
ymgymmysgu â holl lwythau 'r byd, yn wrth-
wynebus eu cyfraith i bob cenedl, ac yn
esgeuluso yn wastad orchymynion brenhin-
oedd, fel na all undeb ein teyrnasoedd ni,
yr hon yr ydym ni yn anrhydeddus yn ei
† sefyll. hamcanu, † fyned rhagddi,
5 Pan gawsom ninnau wybod y modd y 3. 5
mae 'r genedl hon yn unig wedi ymosod i
wrthwynebu pob dŷn yn wastad, gan newi-
dio, ac ymrafaelio â'r pethau yr ydym ni yn
eu gorchymyn, trwy ddwyn cyfreithiau di-
eithr, a chan gyflawni pob drygioni a fedr-
ont, fel na chaffo ein brenhiniaeth ni wa-
stadfod:
6 Am hynny y gorchymynasom am y
rhai a hysbysir i chwi mewn ysgrifen oddi
wrth Aman (yr hwn sydd swyddog ar *ein*
matterion, ac yn ail i ni) eu llwyr-ddifetha
hwynt oll gyd â'u gwragedd a'u plant, trwy
gleddyfau eu gelynion, heb ddim trugaredd
na thosturi, ar y pedwerydd dydd ar ddeg
o Adar, *hwnnw yw*'r deuddegfed mis o'r
flwyddyn bresennol hon:
7 Fel y byddo o hyn allan i'r rhai oedd
*gynt*, ac yn awr ydynt elynion (wedi iddynt
mewn un dydd, trwy nerth ddisgyn i uffern)
adael pethau yn llonydd, ac yn gwbl ddid-
rallod i ni.
8 ‡ Yntau (gan feddwl am holl weithred- ‡ Sef, *Mardo-*
oedd yr Arglwydd) a weddïodd ar yr Ar- *cheus.*
glwydd.
9 Ac a ddywedodd, O Arglwydd, Ar-
glwydd, Holl-alluog Frenhin, o blegid bod
pob peth yn dy feddiant di; ac nad oes a'th
wrthwynebo di pan fynnech achub Israel:
10 O blegid ti a wnaethost y nefoedd a'r
ddaear, a phob dim rhyfedd, yn yr hyn sydd
dan y nefoedd.
11 Arglwydd pob dim ydwyt di hefyd, ac
nid oes a'th wrthwyneba di, yr hwn ydwyt
Arglwydd.
12 Ti a adwaenost bob peth, ti a
wyddost, O Arglwydd, nad o draha, nac o
falchder, nac o chwant gogoniant, y gwneu-
thum i hyn, sef nad anrhydeddwn Aman
falch:
13 Canys mi a fuaswn foddlon i gusanu
ôl ei draed ef er iachawdwriaeth i Israel.
14 Ond mi a wneuthum hyn rhag gosod
o honof ogoniant dŷn goruwch gogoniant
Duw; a rhag addoli o honof neb ond tydi:
ac nid o falchder y gwnaf hyn.
15 Ac yn awr, O Arglwydd Dduw fren-
hin, arbed dy bobl: o herwydd y maent
hwy yn edrych arnom ni i'n dinystrio, a hwy
a chwennychasant ddifetha 'r hon sydd o'r
dechreuad yn etifeddiaeth i ti.
16 Na ddïystyra y rhan a waredaist i ti
dy hun o dir yr Aipht.
17 Gwrando fy ngweddi, a bydd druga-
rog wrth dy § ran; a thro ein tristwch yn § *etifedd-*
hyfrydwch; fel y gallom ni fyw, a molian- *iaeth.*
nu dy Enw di, O Arglwydd: ac na ‖ ddi- ‖ *chais,*
fetha enau y rhai sydd yn dy glodfori di, O neu, *attal.*
Arglwydd.
18 Felly Israel oll a lefasant yn gryfaf y
gallent: o blegid eu marwolaeth oedd o flaen
eu llygaid.

## PEN. XIV.

*Gweddi y Frenhines Esther drosti ei hun a'i
phobl.*

ESTHER hefyd y frenhines, wedi i loes
angau ei dâl hi, a ffodd at yr Arglwydd;
2 Ac wedi iddi ddïosg ei gogoneddus
wisg, hi a wisgodd wisg cystudd a galar; â
lludw hefyd a thom yn lle ennaint balch y
llanwodd hi ei phen; a hi a ddarostyngodd
ei chorph yn ddirfawr, a'i holl fannau
hyfryd a lanwodd hi â'i gwallt wedi ei
dynnu:
3 A hi a weddïodd ar Arglwydd Dduw
Israel, ac a ddywedodd,

4 O fy Arglwydd, ein Brenhin ni wyt ti yn unig; cynnorthwya fi, yr hon ydwyf unig; ac heb gynnorthwyydd gennyf ond tydi: * o blegid y mae yn enbyd iawn arnaf.

* 1 Sam. 28. 21. Job 13. 14. Psal. 119. 109.

5 Mi a glywais er pan y'm ganed, ym mysg llwyth fy nghenedl, gymmeryd o honot ti, O Arglwydd, Israel o'r holl genhedloedd, a'n tadau ni o'u holl hynafiaid hwynt, yn etifeddiaeth dragywyddol; a gwneuthur o honot ti iddynt yr hyn a leferaist.

6 Ac yn awr, nyni a bechasom yn dy wydd di; a thi a'n rhoddaist yn nwylaw ein gelynion.

7 Am i ni ogoneddu eu duwiau hwynt, Cyfiawn wyt ti, O Arglwydd.

8 Ac yr awrhon nid digon ganddynt chwerwed ein gwasanaeth ni, eithr hwy a darawsant ddwylaw â'u heilunod,

9 Ar ddiddymmu y peth a ddarfu it' ei ordeinio â'th enau, a dilëu dy etifeddiaeth di, a chau safn y rhai sy yn dy foliannu di, a diffoddi gogoniant dy dŷ di a'th allor.

10 Ac agoryd genau'r cenhedloedd, i *gylweddi* rhinweddau † pethau ofer, ac i fawrygu brenhin cnawdol byth.

† *delwau.*

11 Na ddod, Arglwydd, dy deyrn-wialen i'r rhai nid ydynt *ddim*; ac na âd iddynt chwerthin am ein cwymp ni: eithr tro eu cyngor ‡ yn eu herbyn eu hun, a § difetha yr hwn a ddechreuodd arnom ni.

‡ *arnynt.* § *gwna yn esampl.*

12 Cofia, Arglwydd, pâr dy adnabod yn amser ein cystudd ni: cysura fi, O Frenhin y ‖ cenhedloedd, a llywydd pob tywysogaeth.

‖ *duwiau.*

13 Dod yn fy ngeneu ymadrodd cymmwys ger bron y llew, a thro ei galon ef i gasâu yr hwn sydd yn ein gwrthwynebu ni, er dinystr iddo ef, ac i'r rhai sy yn debyg eu meddwl iddo yntau:

14 Ië gwared ni â'th law, a chynnorthwya fi, yr hon ydwyf unig, ac heb gynnorthwyydd gennyf ond tydi.

15 O Arglwydd, ti a wyddost bob dim: ti a wyddost mai cas gennyf ogoniant y rhai anwir, a bod yn ffiaidd gennyf wely y rhai dienwaededig, a phob † dïeithr.

† *cenhedlig.*

16 Ti a wyddost beth sydd raid i mi; a bod yn ffiaidd gennyf arwydd fy malchder, yr hwn sydd ar fy mhen, ar y dyddiau yr ymddangoswyf, a bod mor ffiaidd gennyf ef a chadach mis-glwyf; ac nad ydwyf yn ei wisgo ef ar y dyddiau yr wyf ‡ yn cael llonydd;

‡ *ar fy mhen fy hun.*

17 Ac na fwyttaodd dy wasanaethyddes ar fwrdd Aman; ac § nad anrhydeddais wledd y brenhin, ac nad yfais win-offrwm;

§ *na wneuthum fawr gyfrif o.*

18 Ac na lawenychodd dy law-forwyn, o'r dydd y'm ‖ symmudwyd hyd yr awr hon, ond ynot ti, O Arglwydd Dduw Abraham.

‖ *dygpwyd yma.*

19 O Dduw cadarnach nâ neb, gwrando lefain y rhai dïobaith, a gwared ni o law y drygionus, ïe gwared fi o'm hofn.

PEN. XV.

*6 Esther yn dyfod i ŵydd y brenhin: 7 Ac yntau yn edrych yn ddigllon arni, a hithau yn llewygu. 8 Y brenhin yn ei chodi hi i fynu, ac yn ei chysuro hi.*

AC ar y trydydd dydd, pan beidiodd hi â gweddïo, hi a ddiosgodd ei galar-wisg, ac a wisgodd ei gwychder,

2 Ac wedi iddi fyned yn wych ei threfn, a galw ar Weledydd ac Achubydd pawb, hi a gymmerodd ddwy law-forwyn.

3 A hi a bwysodd ar y naill, fel pe buasai hi fwythus.

4 A'r llall oedd yn dwyn ei † phwrffil hi, 3495.

† *godre.*

5 Gwridog hefyd oedd hi o berffeithrwydd ei thegwch, a'i hwyneb yn llawen, *ac* megis yn hawddgar; eithr ei chalon hi oedd gyfyng arni gan ofn.

6 Ac wedi iddi fyned i mewn trwy'r holl ddrysau, hi a safodd ger bron y brenhin, ac yr oedd efe yn eistedd ar orseddfa ei frenhiniaeth, ac efe a wisgasai ei ddisgleir-wisg oll; ac efe oll mewn aur a meini gwerthfawr oedd ofnadwy iawn:

7 A chan ddyrchafu ei wyneb yn disgleirio gan ogoniant, efe a edrychodd yn llym o ddig. Yna y syrthiodd y frenhines, a hi a newidiodd ei lliw mewn llewyg, ac a ogwyddodd ar ben y llaw-forwyn oedd yn myned ‡ o'i blaen hi.

‡ *gyd â hi, neu, yn ei hymyl.*

8 A Duw a drodd yspryd y brenhin yn addfwyn, fel y neidiodd efe ar frys oddi ar ei orseddfa, ac y cymmerodd hi: ac efe a'i cysurodd hi â geiriau heddychlon, ac a ddywedodd wrthi hi,

9 Esther, beth yw'r *matter*? dy frawd di ydwyf fi: cymmer gysur.

10 Ni roddir di i farwolaeth, § o blegid cyffredin yw ein gorchymyn ni: tyred yma.

§ *er bod y gorchymyn yn gyffredinol.*

11 Ac efe a gododd y wialen aur, ac a'i gosododd ar ei gwddf hi:

12 Ac efe a'i cofleidiodd hi, ac a ddywedodd, Llefara wrthyf fi.

13 Hithau a ddywedodd wrtho ef, O arglwydd, mi a'th welwn fel Angel Duw, a'm calon a gyffrôdd rhag ofn dy ogoniant.

14 O blegid rhyfeddol ydwyt ti, O arglwydd; a'th wyneb sydd yn llawn gras.

15 A thra yr oedd hi yn llefaru, hi a syrthiodd ‖ yn ei llewyg.

‖ *gan wendid.*

16 Yna y trallodwyd y brenhin, a'i weision oll a'i cysurasant hi.

PEN. XVI.

*1 Llythyr Artaxerxes, 10 yn yr hwn y mae yn adrodd beiau Aman, 17 ac yn diddymmu'r gorchymyn a barasai Aman ei wneuthur i ddifethu'r Iuddewon, 22 ac yn gorchymyn cadw dydd eu hymwared hwy yn ŵyl.*

Y Brenhin mawr Artaxerxes at y penaethiaid, a'r tywysogion, ar gant a saith ar hugain o daleithiau, o India hyd Ethiopia, ac at ein deiliaid ffyddlon, yn anfon annerch.

2 Llawer wedi eu mynych anrhydeddu trwy fawr ddaioni gweithredwŷr da, a aethant yn falchach,

3 Ac ydynt yn ceisio, nid yn unig ddrygu ein deiliaid ni, eithr hefyd, am na fedrant fyw mewn digonedd, y maent yn ceisio dychymmyg niweid yn erbyn y rhai a wna ddaioni iddynt.

4 Ac y maent nid yn unig yn tynnu diolchgarwch o blith dynion, eithr hefyd gan ymddyrchafu mewn balchder rhai heb wybod oddi wrth ddaioni, y maent yn amcanu dïangc oddi wrth farn Duw, yr hwn sydd yn gweled pob peth, *a'i farn yn* gas ganddi ddrygioni.

5 Llawer gwaith hefyd y mae geiriau teg y rhai yr ymddiriedwyd iddynt am lywodraethu matterion eu cyfeillion, yn gwneuthur llawer o'r rhai sydd mewn awdurdod yn euog o waed gwirion, ac yn eu hamgylchu mewn blinderau dïymadferth;

6 Trwy ffalsder a thwyll eu dull drygionus yn twyllo diniweirdra, a daioni penaethiaid.

7 A hyn a ellwch chwi ei weled, fel yr eglurhasom ni, nid yn gymmaint o'r hen historiau, ag y gellwch, os chwiliwch pa bethau a wnaed yn ddrygionus yn hwyr, trwy ymddygiad echryslon y rhai a osodwyd mewn awdurdod yn anheilwng.

8 Ac *y mae yn rhaid* edrych am yr amser a fydd, fel y gwnelom y deyrnas yn ddidrallod ac yn heddychol i bob dŷn;

9 Gan arfer cyfnewidiadau, ac ystyried y pethau sy'n dyfod mewn golwg, trwy achub blaen *pethau* bob amser yn llarieiddiach.

10 O herwydd Aman Macedoniad, mab Amadatha, yr hwn mewn gwirionedd oedd estron i waed y Persiaid, a phell oddi wrth ein daioni ni, ac wedi ei dderbyn gennym ni fel gwr dïeithr,

11 A gafodd yr addfwynder sydd gennym ni i bob cenedl, yn gymmaint ag y gelwid ef yn dad i ni, a'i addoli gan bawb megis yr ail i'r orseddfa frenhinol:

12 Am na fedrai efe ddwyn ei fawrbarch, efe a geisiodd ein diddymmu ni o'r llywodraeth, ac o'n heinioes hefyd.

13 Ac a geisiodd trwy lawer o ffyrdd twyllodrus ddifetha Mardocheus, yr hwn a'n hachubodd ni, ac ym mhob peth a wnaeth ddaioni, ac Esther ddifai, yr hon sydd gyfrannog o'r deyrnas, ynghŷd â'i holl genedl.

14 O blegid fel hyn y meddyliodd efe ein cael ni yn unig, a dwyn llywodraeth y Persiaid i'r Macedoniaid.

15 Eithr yr ydym ni yn cael bod yr Iuddewon, y rhai a roddasai 'r dinystrydd *hwnnw* i'w difetha, yn ddiniweid drwg, ac yn arfer cyfreithiau o'r cyfiawnaf;

16 Ac yn blant i'r Duw byw Goruchaf a mwyaf, yr hwn a † gyfarwyddodd y deyrnas i ni, ac i'n rhïeni, mewn trefn odiaeth. † *lwyddodd.*

17 Am hynny da y gwnewch, os chwi ni chyflawnwch y llythyrau a anfonodd Aman mab Amadatha attoch chwi.

18 O herwydd efe, yr hwn a wnaeth hyn, a grogwyd, ynghŷd â'i holl dylwyth, o flaen pyrth Susa, trwy fod Duw, llywydd pob peth, yn talu iddo yn fuan farn addas.

19 Eithr gan osod allan gopi o'r llythyr hwn ym mhob lle, gadewch i'r Iuddewon arfer eu cyfraith mewn rhydd-id.

20 A chynnorthwywch hwynt, fel y gallont y trydydd ar ddeg o Adar y deuddegfed mis, ar yr un dydd, ddïal ar y rhai a osododd arnynt hwy yn amser eu cystudd.

21 O blegid Duw, llywydd pob peth, yn lle dinystr y genedl etholedig a wnaeth iddynt lawenydd.

22 Cedwch chwithau *hwn* ynghŷd â phob llawenydd yn ddydd uchel, ym mysg eich uchel-wyliau,

23 Fel y byddo iachawdwriaeth yn awr, ac wedi hyn, i ni ac i'r Persiaid da eu hewyllys, a choffadwriaeth dinystr i'r rhai sy'n cynllwyn i'n herbyn ni.

24 A phob dinas a gwlad bynnag yr hon ni wnelo fel hyn, a lwyr-ddifethir â gwaywffyn ac â thân, mewn llid; fel y gosoder hi byth, nid yn unig yn ddisathr gan ddynion, eithr yn atcasaf gan fwystfilod, ac adar, bob amser.

---

# ¶ DOETHINEB SALOMON.

## PEN. I.

Hydref, 13. B. Dydd y Gwirioniaid, P.

*2 I bwy y mae Duw yn ei ddangos ei hun, 4 a doethineb hithau ei hun. 6 Na's gall drwg-dafodiog ymguddio. 12 Nyni sy yn peri ein dinystr ein hun: 13 am na's gwnaeth Duw angau.*

CERWCH [a] gyfiawnder, y rhai ydych yn barnu'r ddaear: ystyriwch yr Arglwydd mewn daioni, a cheisiwch ef mewn puredd calon. [a] 1 Bren. 3. 3. Esay 56. 1.

2 O blegid [b] efe a geir gan y rhai ni themtiant ef; ac a ymddengys i'r rhai ni anghredant iddo. [b] Deut. 4. 29. 2 Chron. 15. 4.

3 Canys meddyliau trofäus a ddidolant oddi wrth Dduw; eithr rhinwedd brofedig a gerydda 'r ynfydion.

4 O herwydd nid â doethineb i enaid drygionus; ac ni chyfannedda hi mewn corph caeth i bechod.

5 O blegid [c] sanctaidd yspryd addysg a ffŷ oddi wrth dwyll, ac a ymedy â meddyliau angall; ac a † gystuddir lle y delo anwiredd. [c] Jer. 4. 22. † *geryddir, neu, a ymddengys.*

6 Canys yspryd [d] yn caru dŷn yw doethineb, ac ni weryd hi yr hwn a gablo â'i wefusau: o blegid Duw sydd dyst o'i arennau ef, ac yn wir olygydd ei galon ef, ac yn gwrando ei ymadroddion ef. [d] Gal. 5. 22.

7 O blegid Yspryd yr Arglwydd a lanwodd y byd: a'r hwn sydd yn ‡ cynnal pob peth biau adnabod lleferydd; ‡ *cynnwys.*

8 Am hynny ni chaiff yr hwn a ddywedo bethau anghyfiawn lechu; ac nid â'r farn a gospo heibio iddo ef.

9 O blegid fe fydd ymofyn ynghynghorion yr annuwiol; a'r Arglwydd a gaiff glywed ei eiriau ef, i gospi ei anwireddau ef.

10 Canys clust eiddigus sydd yn clywed y cwbl; ac ni bydd swn grwgnach yn guddiedig.

11 Ymgedwch gan hynny rhag grwgnach difudd; ac arbedwch enllibio â'ch tafod: o herwydd nid â ymadrodd dirgel yn ofer, a'r genau a § ddywedo gelwydd sydd yn lladd yr enaid. § *enllibio.*

12 Na cheisiwch farwolaeth yn amryfusedd eich einioes: ac na thynnwch *arnoch* [e] ddinystr â gweithredoedd eich dwylaw. [e] Deut. 4. 23, 24.

13 O blegid [f] ni wnaeth Duw farwolaeth; ac nid digrif ganddo ddinystr y byw. [f] Ezec. 18. 32. a 33. 11.

14 Canys efe a wnaeth bob peth i fod; a chenhedlaethau 'r byd yn iachol, heb fod meddyginiaeth ddinystriol ynddynt, na brenhiniaeth uffern ar y ddaear.

15 Anfarwol hefyd yw cyfiawnder.

16 Eithr rhai annuwiol a'i cyrchasant hi â'u ‖ dwylaw, ac â'u hymadrodd: gan dybied ei bod hi yn garedig y dihoenasant hwy, a hwy a wnaethant gyfammod â hi, am eu bod yn haeddu bod yn gyfrannogion o honi. ‖ *gweithredoedd.*

## PEN. II.

*1 Yr annuwiol yn tybied mai berr yw'r fuchedd hon: 5 Ac nad oes yr un ar ol hon. 6 Am hynny y cymmerant hwy eu difyrrwch yn y fuchedd hon, 10 ac yr ymgydfuriadunt yn erbyn y cyfiawn. 21 Pa beth sydd yn eu dallu hwy.* Hydref, 13. P.

O Blegid yr annuwiol a ddywedent yuddynt eu hun, gan feddwl, ond nid yn uniawn, [a] Berr a blin yw ein hoes ni: [b] yn niwedd dŷn nid oes meddyginiaeth, ac ni adnabüwyd neb a ddychwelodd o uffern. [a] Job 7. 1. [b] Matt. 22. 23. 1 Cor. 15. 32.

2 Canys ar ddamwain y ganwyd ni, ac wedi hyn ni byddwn ni mwy nâ phe na buasem: o blegid mwg yw 'r ffun yn ein ffroenau ni, a gwreichionen yw 'r ymadrodd *yn dyfod* o symmudiad y galon;

3 Pan ddiffodder honno, yr â y corph yn lludw, a'n hanadl a wasgerir fel awyr deneu,

4 A'n henw ni a anghofir mewn amser, fel na chofio neb ein gweithredoedd ni; a'n heinioes ni a â fel ôl niwl, ac a wasgerir fel cwmmwl, yr hwn a ymlidio pelydr yr haul, a'r hwn y byddo ei wres ef drwm wrtho.

5 [c] Canys ein hamser ni sydd fel mynediad cysgod; ac nid oes dychweliad ar ein diwedd ni: canys efe a seliwyd, ac nid oes neb yn dychwelyd.

6 Deuwch gan hynny, mwynhawn y da [d] sydd, ac arferwn yn brysur † yr hyn a feddwn, megis mewn ieuenctid.

7 Ymlanwn â gwin gwerthfawr, ac ag ennaint: ac na adawn i flodeu 'r amser fyneb heibio i ni.

8 Gwisgwn goron o flodeu rhôs, cyn eu gwywo.

9 Na fydded neb o honom ni heb ei ran o ddifyrrwch; gadawn ym mhob mân arwyddion o'n llawenydd: o blegid hyn yw ein rhan ni, a dyma ein dogn ni.

10 Gorthrymmwn y tlawd cyfiawn, nac arbedwn y weddw, ac na pharchwn hirhoedlog benllwydni yr hynafgwr.

11 Bydded ein cryfder ni yn lle cyfraith gyfiawn: canys gwendid a geryddir fel peth difudd.

12 Cynllwynwn gan hynny i'r cyfiawn, am ei fod ef yn anfuddiol i ni: y mae efe hefyd yn erbyn ein gwaith ni, ac yn edliw y pechodau sydd yn erbyn y gyfraith, ac yn cyhoeddi er gogan i ni y pechodau sydd yn erbyn ein haddysg ni.

13 Y mae efe yn ymhonni fod ganddo wybodaeth o Dduw, ac [e] yn ei alw ei hun yn blentyn i'r Arglwydd.

14 Efe a wnaed [f] i argyoeddi ein meddyliau ni.

15 [g] Trwm gennym ei weled ef: am fod ei fuchedd ef yn anhebyg i'r eiddo eraill, a bod ei ffyrdd ef ar ddull arall.

16 Y mae efe yn ein cyfrif ni ‡ yn blant o ordderch, ac yn ymgadw rhag ein ffordd ni, megis rhag peth aflan; [h] y mae efe yn cyfrif diwedd y rhai cyfiawn yn ddedwydd, ac yn ymhonni fod Duw yn dad *iddo ef.*

17 Edrychwn ai gwir ei eiriau ef, a mynnwn wybod yn sicr beth a fydd ei ddiwedd ef.

18 O blegid os [i] mab Duw yw 'r cyfiawn, efe a'i § derbyn ef, ac a'i gwared ef o ddwylaw ei wrthwynebwŷr.

19 [k] Holwn ef yn ammharchus, ac yn gystuddiol, fel y caffom wybod ei addfwynder ef, a phrofi ei ddioddefgarwch ef.

20 Barnwn ef i farwolaeth waradwyddus: o blegid fe a synnir arno, medd efe.

21 Hyn a feddyliasant hwy, a hwy a gam-gynnmerasant: o blegid eu drygioni a'u dallodd hwynt.

22 Ac ni wybüant hwy ddirgeledigaethau Duw; ac ni obeithiasant am wobr cyfiawnder, ac || nid ystyriasant wobr yr eneidiau difeius.

23 O blegid Duw a grëodd ddyn i fod yn † anllygredig, ac a'i gwnaeth ef [l] yn ddelw ‡ ei lun ei hun.

[c] 1 Chron. 29. 15. Pen. 5. 9.
[d] Es. 22. 13. a 56. 12. 1 Cor. 15. 32.
† y creaduriaid.
[e] Matt. 27. 43. Ioan 19. 7.
[f] Ioan 7. 7. Ephes. 5. 13, 14.
[g] Es. 53. 3.
‡ megis arian gurthodedig.
[h] Num. 23. 10.
[i] Psal. 22. 8, 9. Matt. 27. 43.
§ cynnorthwya.
[k] Ier. 11. 19.
|| ni ddeallasant.
† anfarwol.
[l] Gen. 1. 26, 27. a 5. 1. Eccl. 17. 3.
‡ ei dragywyddoldeb.

24 A [m] thrwy gynfigen y cythraul y daeth marwolaeth i'r byd: a'r rhai sydd ar ei du ef a'i profant ef.

[m] Gen. 3. 13.

## PEN. III.

1 *Bod y duwiol yn ddedwydd yn eu marwolaeth,* 5 *ac yn eu blinderau,* 10 *Nad y rhai annuwiol, na'u plant chwaith,* 13 *ond y rhai glân, sy sanctaidd, er nad oes iddynt blant.* 16 *O herwydd colledig fydd y godinebwr a'i blant.*

Hydref, 14. B. Holl Saint, B. h. w. 10.

EITHR y mae [a] eneidiau y rhai cyfiawn yn llaw Duw; ac ni chyffwrdd † cystudd â hwynt.

2 [b] Y rhai angall oedd yn tybied eu bod hwy yn meirw; a drwg y cyfrifid eu diwedd hwynt,

3 A'u mynediad oddi wrthym ni yn ddinystr: eithr y maent hwy mewn heddwch.

4 O blegid er eu cystuddio hwy yngolwg dynion, y mae eu [c] gobaith hwy yn llawn tragywyddoldeb.

5 A lle y ceryddwyd hwy ychydig, hwy a gânt lawer o ‡ fudd: o blegid Duw [d] a'u profodd hwynt, ac a'u cafodd yn addas iddo ei hun.

6 [e] Efe a'u profodd hwynt fel aur yn y ffwrn, ac a'u derbyniodd hwynt fel aberth llosg.

7 Ac yn amser eu gofwy [f] hwy a ddisgleiriant, ac a redant i fewn ac allan fel gwreichion mewn sofl,

8 Hwy [g] a farnant genhedloedd, ac a lywodraethant bobloedd, a'u Harglwydd hwy a deyrnasa byth.

9 Y rhai a ymddiriedant ynddo ef a ddeallant y gwirionedd; a'r rhai ffyddlon § mewn cariad a arhosant gyd ag ef; o blegid gras a thrugaredd sydd i'w Saint ef; ac efe a ofala dros ei etholedigion.

10 Eithr [h] yr annuwiol, fel y meddyliasant, a gânt gospedigaeth, y rhai a ddiystyrasant y cyfiawn, ac a wrthodasant yr Arglwydd.

11 Canys annedwydd yw yr hwn a ddïystyro ddoethineb ac addysg, ac ofer yw eu gobaith: eu llafur hefyd a fydd diffrwyth a'u gwaith yn ddifudd.

12 Eu gwragedd sydd yn || angall, a'u plant yn ddrygionus.

13 Melldigedig yw eu heppil hwynt. Canys dedwydd yw 'r amhlantadwy ddihalogedig, yr hon nid adnabu wely mewn pechod: hi [i] a gaiff ffrwyth pan ymweler â'r eneidiau.

14 *A dedwydd yw* [k] y dispaidd, yr hwn ni wnaeth anwiredd â'i ddwylaw, ac ni feddyliodd ddrygioni yn erbyn yr Arglwydd: canys iddo ef y rhoddir dewisol râd ffydd, a'r rhan gymmeradwyaf gan ei feddwl, † yn Nheml yr Arglwydd.

15 Canys gogoneddus yw ffrwyth poen dda; a gwreiddyn doethineb ni ddiflanna byth.

16 Eithr plant y godinebus ‡ a fyddant ammherffaith, a'r had o wely anwir a ddiflanna.

17 O blegid os hir-hoedlog fyddant, ni wneir dim cyfrif o honynt: a'u henaint fydd ammharchus yn y diwedd.

18 Eithr os yn fuan y diweddir hwynt, ni chânt obaith, na chyssur yn nydd § ymweliaid.

19 O blegid || ofnadwy yw diwedd y genhedlaeth anghyfiawn.

[a] Deut. 33. 3.
† dialedd.
[b] Pen. 5. 4.
[c] Rhuf. 8. 24. 2 Cor. 5. 1. 1 Petr 1. 13.
‡ wobr.
[d] Exod. 16. 4. Deut. 8. 2.
[e] Zech. 13. 9. Mal. 3. 3.
[f] Matt. 13. 43.
[g] Matt. 19. 28. 1 Cor. 6. 2.
§ arhosant gyd ag ef mewn cariad.
[h] Matt. 25. 41.
|| ysgafn, neu, annuwiol.
[i] Esay 56. 5.
[k] Esay 56. 4, 5.
† Neu, ym mysg pobl.
‡ ni fyddant gyfrannogion o bethau sanctaidd.
§ gwrandaw.
|| caled.

## PEN. IV.

Hydref, 14. P. 1 *Y diwair a goronir. 3 Na ffynna eppil yr anniwair: 6 ac y byddant hwy dystion yn erbyn eu tadau a'u mammau. 7 Bod y cyfiawn yn marw yn ieuangc, ac er hynny yn ddedwydd. 12 Gofidus ddiwedd yr annuwiol.*

GWELL yw bod heb blant, a bod gennym
rinwedd: o blegid anfarwol yw y coffa
am dani; a hysbys i Dduw a dynion yw hi.
2 Hwy a'i dilynant hi pan fyddo presen-
nol, ac a'i dymunant hi pan elo ymaith; y
a Iago 1. 12. mae hi yn gorfoleddu, [a] wedi ei choroni
byth, wedi ennill y maes wrth ymdrechu am
1 Petr 5. 4. Dat. 2. 10. ddihalogedig wobrau.
3 Eithr tylwythog dyrfa 'r annuwiol ni
bydd fuddiol, ni ddwfn-wreiddia chwaith
yr hon sydd yn dyfod o blanhigion bastar-
daidd, ac ni esyd sylfaen sicr.
4 O blegid er iddynt dyfu dros amser yn
b Matt. 7. 19. wrŷsg; [b] gwŷnt a'u symmud hwynt, gan eu
bod yn tyfu yn weiniaid, a'u diwreiddio
gan nerth y gwyntoedd.
c Pen. 3. 16. 5 [c] Yr amherffaith ganghennau a dorrir
ymaith, a'u ffrwyth hwynt a fydd difudd,
heb fod yn addfed i'w fwytta, nac yn gym-
mwys i ddim.
† Gr. o gwsg anniheilwng. 6 O herwydd y plant a genhedler † yn y
gwely anheilwng sydd dystion o anwiredd
yn erbyn eu rhieni, pan holer hwynt.
7 Eithr os diweddir y cyfiawn yn gynnar,
efe a fydd mewn esmwythdra *er hynny.*
8 O herwydd nid yr hir-hoedlog yw'r
‡ ac ni's mesurir. henaint parchedig, ‡ na'r hon a fesurir wrth
rifedi blynyddoedd.
9 Eithr doethineb sydd benllwydni i
ddynion; a henaint oedrannus yw buchedd
ddihalog.
d Gen. 5. 24. 10 [d] Efe a ryngodd fodd i Dduw, ac a
Heb. 11. 5. hoffwyd ganddo: ac efe yn byw ym mysg
Edrych pechaduriaid a fudwyd ymaith.
Esay 57. 1. 11 Efe a gipiwyd ymaith rhag i ddryg-
ioni newidio ei feddwl ef, neu i dwyll dwy-
llo ei enaid ef.
12 O blegid hudoliaeth oferedd a dywy-
lla bethau da; ac anwadalwch chwant a
§ *wyro.* § symmud feddwl difalais.
|| *sancteiddio.* 13 Efe wedi ei || ddiweddu yn fuan, a gy-
flawnodd hir amser.
14 Canys cu oedd ei enaid ef gan yr Ar-
glwydd: am hynny yr aeth efe ar frys o
fysg drygioni.
15 Y mae 'r bobl yn gweled hyn, ac heb
ddeall nac ystyried fod gras a thrugaredd i'w
Saint ef, ac ymgeledd i'w etholedigion ef.
16 Pan fyddo'r cyfiawn marw, y mae efe
yn rhoddi barn yn erbyn y rhai annuwiol
† *berffeithir.* byw; felly y mae yr ieuengctid a † ddiwe-
ddir yn fuan, yn erbyn hir-hoedlog henaint
yr anghyfiawn.
17 O blegid hwy a gânt weled diwedd y
‡ *ddeallant beth a amcanodd Duw iddo ef.* doeth, ac ni ‡ feddyliant beth a amcanasant
iddo, ac i ba beth y cadwodd yr Arglwydd
ef yn ddïogel.
18 Hwy a'i gwelant ef, ac a'i dïystyrant:
eithr yr Arglwydd a'u gwatwar hwynt, a
hwy a fyddant yn gelain ammharchedig, ac
yn waradwyddus ym mysg y meirw byth.
19 Canys efe a'u dryllia hwynt i lawr yn
ddidrwst, ac a'u sigl hwynt o'r sylfaen, a
hwy a anrheithir hyd yr eithaf, ac a fyddant
mewn gofid; a'u coffadwriaeth hwynt a
dderfydd.
§ *wrth fwrw cyfrif.* 20 Hwy a ddeuant yn ofnus, § trwy fe-
ddwl am eu pechodau; a'u hanwireddau a'u
ceryddant hwy o flaen *eu hwynebau.*

## PEN. V.

1 *Y rhyfedda'r annuwiol wrth y duwiol, 4 ac yr addefant eu hamryfusedd, 5 ofered eu buchedd. 15 Y tâl Duw i'r cyfiawn, 17 ac y rhyfela efe â'r annuwiol.* Hydref, 15. B. Troad S. Paul, B. Holl Saint P. h. w. 17.

YNA y saif y cyfiawn mewn hyder mawr
o flaen ei orthrymwŷr, a'r rhai a ddi-
ystyrasant ei lafur ef.
2 Pan welant, hwy a gythryblir ag ofn
aruthr; a sŷn fydd ganddynt ei iachawd-
wriaeth ryfedd ef.
3 A hwy a ddywedant ynddynt eu hun
yn edifeiriol, a chan gyfyngder meddwl yr
ocheneidiant, ac y dywedant, Dyma'r hwn
yr oeddym ni gynt yn ei watwar, ac † yn ei † *oedd yn ddihareb gwaradwydd.*
ddyfalu yn waradwyddus.
4 [a] Nyni ffyliaid a feddyliasom fod ei fu-
chedd ef yn ynfydrwydd, a'i ddiwedd yn a Pen. 3. 2.
ammharchus.
5 Pa fodd y cyfrifwyd ef ym mhlith mei-
bion Duw, ac y mae ei ran ef ym mysg y
Saint!
6 Nyni gan hynny a gyfeiliornasom allan
o ffordd y gwirionedd, ac ni thywynnodd
llewyrch cyfiawnder i ni, ac ni chododd
haul cyfiawnder arnom.
7 Nyni a ‡ lanwyd o ffyrdd anwiredd a ‡ *flinwyd ar.*
distryw; ac a rodiasom trwy anialwch an-
hyffordd; eithr nid adnabuom ni ffordd yr
Arglwydd.
8 Pa fudd sydd i ni o falchder? a pha les
a wnaeth golud a ffrost i ni?
9 Y pethau hynny oll [b] a aethant ymaith b 1 Chron. 29. 15.
fel cysgod, ac fel cennad yn rhedeg. Pen. 2. 5.
10 [c] Fel llong yn myned trwy 'r dwfr ton- c Dihar. 30. 19.
nog, yr hon ni ellir caffael ei hôl, wedi iddi
fyned heibio, na'r llwybr yr aeth hi trwy 'r
tonnau;
11 Neu megis na cheir arwydd mynediad
yr aderyn a ehedo trwy 'r awyr, eithr dyr-
nod yr esgyll ar y gwynt tenau, yr hwn a
gurir, ac a rennir trwy nerth egnïol, gan
guro 'r adenydd, a â trwödd, ac yno nid oes
dim arwydd pa le yr aeth efe;
12 Neu fel pan saethir saeth at nôd, yr
awyr wedi ei rhannu a ddychwel yn y fan
i'w lle, fel na wydder pa ffordd yr aeth hi:
13 Felly ninnau, pan y'n ganwyd a ddech-
reuasom bwyso at ein diwedd, ac ni alla-
som ddangos dim arwydd rhinwedd dda,
eithr yn ein drygioni y darfuom ni.
14 [d] O blegid fel § llwch, yr hwn a ar- d Job 8. 9.
wain y gwŷnt, ac fel ewyn tenau, yr hwn § *plu y gweunydd.*
a yrr y dymmestl, ac fel y mwg [e] a was-
gerir gan wŷnt, neu fel cof am ymdeithydd e Psal. 1. 4.
dros un diwrnod, yr â gobaith yr annuwiol a 103. 4. Dihar. 10. 25. a 11. 7.
ymaith.
15 Eithr y mae y cyfiawn yn byw byth; Iago 1. 10, 11.
a chyd â'r Arglwydd y mae [f] eu gwobr
hwynt, a chan y Goruchaf y mae gofal am f Gen. 15. 1.
danynt hwy. Dat. 22. 12.
16 Am hynny y cânt hwy at law yr Argl-
wydd deyrnas || hardd, a [g] choron deg, o || *ogoneddus.*
blegid efe a'u gorchuddia hwynt â'i ddeheu-
law, ac a'u hamddiffyn hwynt â'i fraich. g Pen. 4. 2.
17 [h] Efe a gymmer ei eiddigedd yn lle 2 Tim. 4. 8. Dat. 4. 4.
pob arfogaeth, ac a arfoga'r creaduriaid, i a 9. 7.
ddïal ar y gelynion. h Esay 59.
18 Efe a wisg gyfiawnder yn ddwyfron- 16, 17.
neg, ac a wisg farnedigaeth ddiragrith yn
lle helm.
19 Efe a gymmer sancteiddrwydd yn da-
rian, yr hwn ni ellir ei orchfygu.
20 Efe a hoga ei ddigter tost yn gleddyf,
a'r byd a ryfela gyd ag ef yn erbyn ffyl-
iaid.

21 Byllt y mellt a ânt yn uniawn, ac a gyrchant at y nôd, megis o annelog fwa'r cymmylau.

22 A chan ei ddigofaint ef, yr hwn sydd yn arfer o daflu meini, y bwrir cenllysg yn llawn llid; dwfr y môr a lidia wrthynt hwy, a'r afonydd a lifant yn dost:

23 Gwynt nerthol a saif yn eu herbyn hwynt, ac a'u nithia hwynt ymaith fel trowynt: ie anwiredd a ddifwyna'r holl dir, a drygioni a ddinystria eisteddfeydd y cedyrn.

PEN. VI.

Hydref, 15. P. Troad S. Paul, P.

1 *Rhaid i Frenhinoedd wrando.* 3 *Oddi wrth Dduw y mae eu gallu hwy,* 5 *ac nad arbed efe hwy.* 12 *Bod yn hawdd cael doethineb.* 21 *Rhaid i dywysogion ei cheisio hi.* 24 *O blegid atteg i'r bobl yw tywysog doeth.*

GWRANDEWCH gan hynny, O frenhinoedd, a deallwch; Oh farnwŷr eithafoedd y ddaear, cymmerwch ddysg.

2 Rhoddwch glust, lywodraethwŷr y dyrfa; a'r rhai a ydych feilchion o liaws cenhedloedd.

3 O blegid [a] y cryfder a gawsoch chwi gan yr Arglwydd, a'r gallu gan y Goruchaf, yr hwn a ymofyn am eich gweithredoedd chwi, ac a chwilia allan eich cynghorion chwi.

[a] Rhuf. 13. 1, 2.

4 Am i chwi yn weinidogion o'i frenhiniaeth ef, na farnasoch yn uniawn, ac na chadwasoch y gyfraith, ac na rodiasoch yn ol ewyllys Duw,

5 Yn aruthr ac yn ebrwydd y daw efe attoch chwi: o herwydd barn dost fydd i'r llywodraethwŷr.

6 [b] Y lleiaf a ddichon gael maddeuant yn drugarog, a'r cedyrn a gystuddir yn gadarn.

[b] Luc 12. 47, 48.

7 O blegid yr hwn sydd Arglwydd ar bawb [c] nid ystyr wyneb, ac ni ofna fawredd: canys efe a wnaeth y mawr a'r bychan, ac a ofala yr un modd am bawb.

8 Ond ar y cedyrn y daw hawl gadarn.

9 Wrthych chwi am hynny, frenhinoedd, y mae fy ngeiriau i, fel y dysgoch chwi ddoethineb heb ballu.

[c] Deut. 10. 17. 2 Chron. 19. 7. Job 34. 19. Eccl. 35. 12, 16. Act. 10. 34. Rhuf. 2. 11. Gal. 2. 6. Ephes. 6. 9. Col. 3. 25. 1 Petr 1. 17.

10 O blegid y rhai a gadwant y pethau sanctaidd yn sanctaidd, a † sancteiddir; a'r rhai a'u dysgasant hwy a gânt beth i'w atteb drostynt eu hunain.

† gyfiawnheir.

11 Chwennychwch gan hynny fy ngeiriau i, dymunwch *hwynt*, a chwi a fyddwch ddysgedig.

12 Doethineb sydd ddisglair, ac ni dderfydd: [d] hawdd y canfyddir hi gan y rhai a'i hoffant, a hawdd y ceir hi gan y rhai a'i ceisiant.

[d] Deut. 30. 11, &c. Ioan 7. 17.

13 Y mae hi yn myned i gyfarfod y rhai a'i chwennychant, fel yr adwaener hi yn gyntaf.

14 Nid rhaid poen i'r hwn a gyfodo'n fore am dani hi: o blegid efe a'i caiff hi yn eistedd wrth ei ddrysau.

15 Canys perffeithrwydd synwyr yw meddwl am dani hi, a'r hwn a wylio am dani hi, a fydd ddïofal yn ebrwydd.

16 O blegid y mae hi yn myned o amgylch, dan geisio y rhai sydd deilwng o honi hi; y mae hi yn ymddangos yn llawen iddynt hwy ar y llwybrau, ac yn cyfarfod â hwynt ar bob meddwl.

17 Ei dechreuad hi yw gwir chwant i addysg; a gofal addysg yw cariad;

18 A chariad yw ceidwad ei chyfreithiau hi: a sicrwydd o anllygredigaeth yw gwrando ar y gyfraith.

19 Anllygredigaeth hefyd sydd yn peri bod yn agos i Dduw,

20 O blegid hynny, chwant doethineb sydd yn dwyn i'r deyrnas.

21 Am hynny, O frenhinoedd y bobl, os melus gennych orsedd feingciau a theyrnwiail, anrhydeddwch ddoethineb, fel y teyrnasoch byth.

22 Eithr beth yw doethineb, a pha fodd y gwnaed hi, mi a fynegaf i chwi, ac ni chuddiaf ddirgeledigaethau rhagoch chwi: eithr o ddechreuad ei genedigaeth yr olrheiniaf hi, ac y gosodaf ei gwybodaeth hi yn amlwg, ac nid âf fi dros y gwirionedd.

23 Ac ni chyd-ymdeithiaf fi â chynfigen ddihoenedig, o blegid ni bydd y cyfryw un yn gyfrannog o ddoethineb.

24 Iachawdwriaeth y byd yw llawer o ddoethion: ac atteg y bobl yw brenhin call.

25 Am hynny cymmerwch addysg trwy fy ngeiriau i, a chwi a gewch fudd.

PEN. VII.

1 *Mai'r un fath yw diwedd y duwiol a'r annuwiol.* 8 *Mai gwell doethineb nâ dim.* 25 *Mai Duw a roisai iddo yr holl wybodaeth oedd gantho.* 22 *Clod doethineb.*

Hydref, 16. B.

DYN marwol ydwyf finnau, un fodd a phawb *eraill*, ac yn dyfod o hiliogaeth yr hwn a luniwyd gyntaf o'r ddaear;

2 Ac ynghroth fy mam y'm lluniwyd yn gnawd, o fewn amser deng mis, [a] gan geulo o had gwr mewn gwaed, ac o drythyllwch yn dyfod ynghyd â [b] chwsg.

[a] Job 10. 10, 11.
[b] Pen. 4. 6.

3 A phan y'm ganwyd mi a dynnais attaf yr awyr cyffredin i ni, ac a syrthiais ar y ddaear, yr hon sydd o'r un naturiaeth; yn wylofain y rhoddais i y llais cyntaf, fel pawb *eraill*.

4 Mewn † cawiau, a thrwy ofal y'm magwyd.

† cadachau.

5 Ni chafodd un brenhin amgen dechreuad i'w enedigaeth.

6 [c] Un fath ddyfodiad i fywyd sydd i bawb, ac un fath fynediad allan.

[c] Job 1. 21. 1 Tim. 6. 7.

7 Am hynny [d] mi a weddïais, ac fe a roddwyd i mi ddeall; mi a waeddais, ac fe a ddaeth ysbryd doethineb attaf fi.

[d] 1 Bren. 3. 7, &c.

8 Mi [e] a'i cyfrifais hi yn well nâ theyrnwiail, ac nâ gorseddfeydd: ac ni chyfrifais olud yn ddim wrth gyffelybiaeth iddi.

[e] Job 28. 15, &c. Dihar. 8. 10, 11.

9 Ni chyffelybais i faen gwerthfawr iddi hi. Canys graienin bychan yw pob aur yn ei golwg hi, ac fel clai y cyfrifir arian o'i blaen hi.

10 Mi a'i hoffais hi yn fwy nag iechyd, ac nâ thegwch; ac mi a ‡ arfaethais ei chael hi yn lle goleuni: o blegid ni fachluda'r llewyrch *a ddaw* o honi hi.

‡ ddewisais.

11 [f] Pob daioni a ddaeth i mi gyd â hi, a golud aneirif yn ei dwylaw hi.

[f] 1 Bren. 3. 13. Matt. 6. 33.

12 Ac mi a lawenychais am bob un, am fod doethineb yn eu blaenori hwynt: ond ni wyddwn i mai hi oedd eu mam hwynt.

13 Yn ddidwyll y dysgais, ac yn ddigynfigen yr ydwyf yn cyfrannu, heb gelu ei golud hi.

14 Diball drysor yw hi i ddynion: pwy bynnag a'i harfero, y maent hwy yn ymgyfeillach â Duw, gan fod yn ganmoladwy trwy'r doniau *a gaer* trwy addysg.

§ roddo.

15 Duw a § roddes i mi ddywedyd yn ol fy meddwl, a meddwl yn addas am y pethau a ‖ roddwyd: o blegid efe yw pob

‖ a fyddant i lefaru am danynt.

un o'r ddau, awdur doethineb, a chyfa-
rwyddwr y doethion.
16 Yr ydym ni a'n geiriau yn ei law ef:
felly y mae pob deall, a gwybodaeth gwaith.
17 Canys efe a roddes i mi wybodaeth
ddigelwydd am y pethau sydd; i wybod cy-
† *gweithrediad.* fansoddiad y byd, a † grym yr elfennau;
18 Dechreu, diwedd, a chanol amserau;
newid moddion *yr haul*, a chyfnewid tym-
horau;
19 Amgylchiad y flwyddyn, a gosodiad
y ser;
‡ *pethau byw.* 20 Naturiaethau ‡ anifeiliaid, llid bwyst-
filod; nerth gwyntoedd, ac ymresymmau
dynion; rhagoriaeth planhigion, a rhinwed-
dau gwraidd:
21 Beth bynnag sydd nac yn ddirgel, nac
yn amlwg, mi a'i gwn.
22 O blegid doethineb, yr hon a wnaeth y
cwbl, a'm dysgodd i. O herwydd y mae
§ *unig-anedig.* ynddi hi ysbryd deallgar sanctaidd, § unig,
amryw, tenau, cyflym, disglair, dihalog, eg-
lur, annioddefadwy, yn hoffi daioni, yn llym,
‖ *gymmwynasgar.* heb allu ei attal, yn ‖ barod i wneuthur
daioni.
23 Yn caru dŷn, yn ddïanwadal, yn sicr,
† *ar.* yn ddïofal, yn holl-alluog, yn edrych † am
bob peth, ac yn myned trwy bob ysbryd
deallgar, pur, ac o'r teneuaf.
24 Bywioccach yw doethineb nâ dim by-
wiog; hi a â, ac a dreiddia trwy bob peth,
o herwydd ei phured.
25 Canys angerdd gallu Duw yw hi, a
ffrwd bur oddi wrth ogoniant yr Holl-alluog:
am hynny ni syrth dim halogedig iddi hi.
[g] Heb. 1. 3. 26 Canys [g] disgleirdeb y goleuni tragy-
‡ *gallu.* wyddol yw hi, difrycheulyd ddrych ‡ gweith-
[h] 2 Chron. 4. 4. Col. 1. 15. rediad Duw, a [h] delw ei ddaioni ef.
27 Er nad yw hi ond un, hi a ddichon
bob dim; ac yn aros ynddi ei hun y mae hi
yn adnewyddu pob dim; a thrwy 'r oes-
oedd yn disgyn i'r eneidiau sanctaidd, y
mae hi yn eu gwneuthur yn garedigion, ac
yn brophwydi i Dduw,
28 O blegid nid hoff gan Dduw ddim, ond
yr hwn a gyfanneddo gyd â doethineb.
29 O blegid y mae hi yn deccach nâ'r
haul, ac yn uwch nâ gosodiad y ser: os
cystedlir hi â'r goleuni, goreu y ceir hi.
30 Canys y nos a ddaw ar ei ol ef, ond
ni orchfyga drygioni mo ddoethineb.

## PEN. VIII.

Hydref, 16. P. 2 *Bod yn dda ganddo ddoethineb: 4 O blegid bod pob daioni gan yr hwn y mae ganddo ddoethineb. 21 Na's gellir ei chael hi ond gan Dduw.*

Y Mae hi 'n cyrhaeddyd, o gwrr bwy-
gilydd yn rymmusol; ac yn cyflëu pob
peth yn fuddiol.
2 Hon a gerais i, ac a geisiais o'm hieu-
engctid, ac a geisiais ei phriodi yn ddyweddi
i mi: canys cu oedd gennyf fi ei thegwch hi.
3 Y mae hi yn gwneuthur ei bonedd yn
ogoneddus trwy gyttal gyd â Duw: ac Ar-
glwydd pob peth a'i hoffodd hi.
4 Canys athraw yw hi ar athrawiaeth
Dduw, ac un yn dewis ei weithredoedd
ef.
5 Os meddiant dymunol yn y bywyd *hwn*
[a] Pen. 7. 8, 9. yw cyfoeth, [a] beth gyfoethoccach nâ doethi-
[b] Pen. 7. 22. neb, [b] yr hon sydd yn gwneuthur pob peth?
[c] Exod. 31. 3, 6. 6 Ac os [c] doethineb a weithreda, pa un
o'r pethau sydd a wna yn well nâ hi?
7 Os cyfiawnder a hoffa neb, rhinwe-
ddau da yw ei llafur hi: canys y mae hi
yn dysgu sobreiddrwydd a synwyr, cyfiawn-
der a gwroldeb; nâ pha rai nid oes dim
mwy ei fudd i ddynion yn *eu* bywyd.
8 Os chwennych neb gael sicrwydd gwy-
bodaeth lawer, hi a ŵyr y pethau gynt, ac a
ddychymmyg *yn uniawn* y pethau a fydd-
ant: y mae hi yn gwybod dichellion gei-
riau, ac yn medru dirnad † cwestiynau ca- † *pethau dieithr, neu, ddamhegion.*
led; ac yn gwybod yr arwyddion, a'r rhy-
feddodau, a'r hyn a ddamwain mewn tym-
mor ac amser cyn eu dyfod.
9 Am hynny yr arfaethais ddwyn hon i
gyttal â mi, gan wybod y cynghorai hi i mi
bethau da, ac y'm diddanai mewn gofal a
thristwch.
10 Er ei mwyn hi y caf fi barch yn y
dyrfa, ac anrhydedd gan henuriaid, er fy
mod i yn ieuangc.
11 [d] Myfi a geir yn barod fy synwyr [d] 1 Bren. 3. 28.
mewn barn, ac a fyddaf ryfedd yngolwg
gwŷr mawr.
12 [e] Hwy a arhosant arnaf tra y tawyf, [e] Job 29. 8, 9, 10, 11.
ac a wrandawant tra llefarwyf, ac a osodant
eu dwylaw ar eu geneuau, os myfi a drae-
thaf lawer.
13 [f] Trwyddi hi y caf fi dragywyddoldeb, [f] Adn. 17.
ac y gadawaf goffadwriaeth tragywyddol i'r
rhai a fyddant ar fy ol;
14 Y llywodraethaf fi y bobl, ac y dar-
ostyngir y cenhedloedd i mi.
15 Gorthrymwŷr aruthrol a'm hofnant i,
pan glywont son am danaf fi; ym mysg y
gwerin y'm gwelir i yn dda, ac yn y rhyfel
yn gryf.
16 Pan elwyf i'm tŷ, mi a gyd-orphwy-
saf gyd â hi: o blegid nid oes chwerwder
wrth gyttal â hi, na blinder wrth fyw gyd â
hi, ond llawenydd a gorfoledd.
17 Wrth feddwl hyn ynof fy hun, ac
[g] wrth gofio yn fy nghalon mai yngharen- [g] Dihar. 7. 3.
nydd doethineb y mae [h] tragywyddoldeb,
18 A bod hyfrydwch daionus yn ei chyfei- [h] Ad. 13.
llach hi, a golud diball yn llafur ei dwylaw
hi, a bod synwyr o ymarfer ag ymddiddan â
hi, a bob parch wrth fod yn gyfrannog o'i
hymadroddion hi, mi a geisiais o amgylch
pa fodd y cawn hi ‡ attaf. ‡ *yn brïod.*
19 Yr oeddwn i yn fachgen o athrylith
dda, ac a gawswn ysprydoliaeth dda.
20 Ië yn hytrach a myfi yn dda, myfi a
ddaethum i gorph dihalog.
21 Ond pan wybûm na chawn hi, oni
roddai Duw hi, ac mae synwyr oedd gwy-
bod rhodd pwy oedd hi, mi a § ddaethum at § *weddïais.*
Dduw, ac a ymbiliais, ac a ddywedais o'm
holl galon.

## PEN. IX.

1 *Gweddi at Dduw am ei ddoethineb, 9 heb yr hon nid yw ddim y goreu o ddynion. 13 Ac ni's gŵyr pa fodd y rhyng fodd Duw.* Hydref, 17. B. Pured. Mair, B.

OH Dduw y tadau, ac Arglwydd y dru-
garedd, [a] yr hwn a wnaethost bob peth [a] Gen. 1. Psal. 33. 9. Ioan 1. 3.
â'th air,
2 A thrwy dy ddoethineb a osodaist
ddyn [b] i lywodraethu ar y creaduriaid a [b] Gen. 1. 28.
wnaethost ti,
3 Ac i lywodraethu 'r byd yn uniawn
ac yn gyfiawn, ac i roddi barn a meddwl
uniawn;
4 Dod di [c] i mi ddoethineb, yr hon sydd [c] 1 Bren. 3. 9.
yn eistedd wrth dy orsedd-faingc di, ac na
wrthod fi o blith dy blant.
5 Canys myfi [d] dy was, a mab dy law- [d] Psal. 86. 16. a 116. 16.
forwyn, ydwyf ddyn llesg, ac o amser byrr,
ac yn llai mewn deall barnedigaeth a chyf-
raith.

6 O blegid yr hwn sydd berffeithiaf ym
mysg meibion dynion, a gyfrifir yn ddi-
ddym os ymaith y bydd y doethineb sydd
oddi wrthyt ti.
e 1 Chron. 28. 5. 7 Ti a'm dewisaist i e yn frenhin ar y bobl,
2 Chron. 1. 9. ac yn farnwr ar dy feibion a'th ferched.
8 Ti a ddywedaist am adeiladu Teml ar dy
fynydd sanctaidd, ac allor yn ninas dy bres-
f Heb. 8. 5. wylfod, *sef* f portreiad y Tabernacl sanctaidd,
g Matt. 25. 34. Heb. 11. 10. g yr hwn a ddarperaist ti o'r dechreuad.
9 h A chyd â thi yr oedd doethineb, yr
hon a adwaenai dy weithredoedd di, ac
h Dihar. 8. 22. Ioan 1. 1, 2, 3, 10. oedd bresennol pan wnaethost ti'r byd, ac a
ŵyr beth sydd yn rhyngu bodd yn dy olwg
di, a pheth sydd uniawn wrth dy orchymyn-
ion di.
10 Anfon hi o'th nefoedd sanctaidd, a
gyrr hi o orsedd-fainge dy ogoniant, fel y
cymmero hi boen yn bresennol gyd â mi, ac
y gwypwyf fi beth sydd foddlon gennyt ti.
11 Canys y mae hi yn gwybod, ac yn
deall pob peth: a hi a'm harwain i yn fy
ngweithredoedd yn sobr, ac a'm ceidw i
† trwy ei nerth hi. † yn ei gogoniant hi.
12 Felly y bydd fy ngweithredoedd i yn
gymmeradwy, ac y barnaf fi dy bobl di yn
gyfiawn, ac y byddaf fi addas i orsedd-faingc
fy nhad.
i Esay 40. 13. Rhuf. 11. 34. 1 Cor. 2. 16. 13 Canys i pa ddyn a ŵyr gyfrinach
Duw? a phwy a feddwl beth a ewyllysia
Duw?
14 O blegid ofnus yw meddyliau dynion
marwol, ac ansicr yw ein hamcanion ni.
15 Canys y corph llygredig sydd yn drwm
k 2 Cor. 5. 1, 4. i'r enaid, a'r k breswylfod ddaearol sydd yn
faich i'r meddwl, yr hwn sydd yn gofalu am
lawer o bethau.
16 A phrin y medrwn ni iawn-ddeall
y pethau sy ar y ddaear, a thrwy boen yr
‡ o'n blaen ni. ydym ni yn cael y pethau sydd ‡ yn ein
dwylaw: eithr pwy a olrhain allan y peth-
au sydd yn y nefoedd?
17 Ië pwy a ŵyr dy gyfrinach di, oddi-
eithr i ti roddi doethineb, ac anfon dy Ys-
pryd sanctaidd o'r uchelder?
18 Felly yr uniawnwyd ffyrdd y rhai
sydd ar y ddaear, ac y dysgwyd i ddynion
y pethau a'th foddlonant ti, a thrwy ddoe-
thineb y cadwyd hwynt.

## PEN. X.

Hydref, 17. B. 1 *Pa beth a wnaeth Doethineb er Adda,* 4
*Noe,* 5 *Abraham,* 6 *Lot, ac yn erbyn y pùm*
*dinas:* 10 *er Jacob,* 13 *Joseph,* 16 *Moses,*
17 *a'r Israeliaid.*

HON a gadwodd y cyntaf a luniwyd, tad
y byd, yr hwn a grëwyd yn unig, ac
a'i gwaredodd ef o'i fai,
a Gen. 1. 28. 2 Ac a a roddes iddo ef nerth i lywodr-
aethu pob peth.
b Gen. 4. 8. 3 A b phan ymadawodd yr anghyfiawn â
hi yn ei ddigter, efe a fethodd trwy lid i ladd
c Gen. 7. 21. ei frawd.
† â phren gwael. 4 Er mwyn yr hwn c y boddwyd y
ddaear: eithr doethineb drachefn a'i cad-
d Gen. 11. 9. wodd hi, gan lywodraethu'r cyfiawn † ag
ychydig bren.
‡ ymysgaroedd tu ag at ei fab. 5 Hi hefyd, d ynghyttundeb y cenhed-
loedd cymmysgadwy mewn drygioni, a
e Gen. 22. 10. adnabu'r cyfiawn, ac a'i cadwodd ef yn
ddifai i Dduw, ïe yn ei ‡ fawr gariad i'w
f Gen. 19. 16. fab, e hi a'i cadwodd ef yn gryf.
6 f Hi a waredodd g y cyfiawn oddi wrth
g 2 Petr 2. 7. yr annuwiol colledig, pan ffodd efe rhag y
§ Pentapolis. tân a ddisgynnodd ar § y pùm dinas,
7 Am yr hwn ddrygioni y mae y diffaeth-
dir myglyd, a'r planwŷdd yn ffrwytho heb
addfedu byth, yn dystiolaeth: felly h y mae h Gen. 19. 26.
y golofn halen yn sefyll yn goffadwriaeth
am yr enaid anghredadwy.
8 O blegid y rhai a ddiystyrasant ddoe-
thineb, ni chawsant yn unig y niweid hyn,
sef bod heb wybod pethau da, eithr hwy a
adawsant goffadwriaeth i'r byd o'u ffolineb;
ac ni allant lechu yn y pethau a wnaethant
ar fai.
9 Eithr y rhai a'i parchent hi a waredodd
doethineb o boenau.
10 Mewn llwybrau uniawn yr arweiniodd
hi y cyfiawn, i yr hwn oedd yn ffoi rhag i Gen. 28. 5, 12.
digofaint ei frawd, hi a ddangosodd iddo ef
deyrnas Dduw, ac a roddes iddo ef wybod-
aeth am bethau sanctaidd; hi a'i cyfoeth-
ogodd ef yn ei lafur, ac a gynnyddodd
*ffrwyth* ei boen ef.
11 k Wrth gybydd-dod y rhai ‖ oedd k Gen. 31.
drêch nag ef, yr oedd hi ger llaw, ac a'i ‖ a'i gorthrymment ef.
cyfoethogodd ef.
12 Hi a'i cadwodd ef rhag ei elynion, ac
a'i diogelodd ef oddi wrth ei gynllwynwŷr;
ac l mewn ymdrech cryf hi a roddes y maes l Gen. 32. 24.
iddo ef, fel y gallai efe wybod fod duwiol-
deb yn gryfach nâ dim.
13 Ni adawodd hi y cyfiawn, m yr hwn m Gen. 37. 28. a 39. 7. Act. 7. 10.
a werthwyd, eithr hi a'i hachubodd ef rhag
pechod, ac n a aeth i wared gyd ag ef i'r n Gen. 41. 14.
† carchar.
14 Ië ni adawodd hi ef yn ei rwymau, † pydew.
hyd oni ddygodd hi iddo ef deyrn-wïalen y
frenhiniaeth, a llywodraeth ar ei orthrym-
wŷr: hi a ddangosodd fod y rhai oedd yn
‡ beio arno ef yn gelwyddog, ac a roddes ‡ achwyn.
iddo ef ogoniant tragywyddol.
15 o Hon a waredodd y bobl sanctaidd, o Exod. 1. 10. a 12. 42.
a'r had difai oddi wrth y genedl a'u gorth-
rymmai hwynt.
16 p Hi a aeth i mewn i enaid q gwas yr p Exod. 3. 10.
Arglwydd, r ac a safodd yn erbyn brenhin-
oedd ofnadwy, gan *wneuthur* rhyfeddodau a q Jos. 1. 1. Psal. 105. 26.
gwyrthiau.
17 Hi a roddes i'r rhai cyfiawn wobr Heb. 3. 5.
sancteiddrwydd eu llafur; hi a'u harwein- r Exod. 5. 1.
iodd hwynt mewn ffordd ryfedd, ac oedd yn
orchudd iddynt hwy y dydd, ac yn § fflam § oleuni ser.
o ser y nos.
18 s Hi a'u dug hwy trwy'r môr coch, ac s Exod. 14. 21, 22.
a'u harweiniodd hwy trwy ddwfr mawr.
19 A hi a foddodd eu gelynion hwynt, ac Psal. 78. 13.
a'u dug hwynt i fynu o waelod y dyfnder.
20 Am hynny y rhai cyfiawn a yspeiliasant
y rhai annuwiol, ac t a ddadganasant dy t Exod. 15. 1.
Enw sanctaidd di, O Arglwydd, ac a glod-
forasant o unfryd dy law ‖ orchfygus di. ‖ di a ymladdodd trostynt hwy.
21 O blegid doethineb a agorodd enau y
rhai mudion, ac a osododd dafodau plant
bychain yn ymadroddus.

## PEN. XI.

5 *Darfod cospi'r Aiphtiaid, a chadw'r Is-* Hydref, 19. B.
*raëliaid, yn yr un peth.* 15 *Darfod eu cospi*
*hwy â'r pethau y pechasent ynddynt.* 20 *Y*
*gallasai Duw eu distrywio hwy mewn modd*
*arall,* 23 *ond ei fod ef yn drugarog wrth*
*bawb.*

HI a † gyfarwyddodd eu gweithredoedd † lwyddodd.
hwynt yn llaw y prophwyd sanctaidd.
2 Hwy a a ymdeithiasant trwy'r diffaeth- a Exod. 16. 1.
wch anghyfanneddol, ac a osodasant eu
pebyll mewn lleoedd anhyffordd.
3 Hwy b a safasant yn erbyn y rhai a b Exod. 17. 10, 11.
ryfelent i'w herbyn, ac a ddïalasant ar eu
gelynion.

4 Daeth syched arnynt hwy, a hwy a alwasant arnat ti, ac [c] fe a roddwyd iddynt hwy ddwfr o'r graig † serth, a meddyginiaeth rhag syched o'r maen caled.

c Exod. 17. 6. Num. 20. 11. † uchel.

5 Canys trwy'r pethau y cystuddiwyd eu gelynion hwynt, trwy'r un pethau y cawsant hwy les, pan oedd eisiau arnynt.

6 Yn lle ffynnon o afon redegog, [d] wedi ei chythryblu â gwaed llychlyd;

d Exod. 7. 17.

7 Yn gerydd am [e] y gorchymyn i ladd y plant, y rhoddaist ti iddynt hwy amlder o ddwfr, trwy fodd heb ei obeithio.

e Exod. 1. 22. Pen. 18. 5.

8 Gan ddangos trwy'r syched oedd yr amser hwnnw, [f] pa fodd y cystuddiasit ti y gwrthwynebwŷr.

f Exod. 7. 20.

9 O blegid pan demtiwyd hwy (er eu ceryddu yn drugarog) hwy a wybuant pa fodd y dialeddwyd ar y rhai annuwiol, y rhai a farnwyd mewn digofaint.

10 Canys y rhai hyn a brofaist ti fel tad, gan eu rhybuddio; a'r lleill a holaist ti fel brenhin tost, gan eu condemnio.

11 Y rhai, pa un bynnag ai yn absennol, ai yn bresennol, a gystuddiwyd yr un modd.

12 O blegid tristwch a gofid dauddyblyg a ddaeth arnynt hwy, wrth gofio pethau a aethai heibio.

13 Canys pan glywsant hwy wrth eu cystudd eu hun, gael o honynt hwy ‡ fudd, hwy a § feddyliasant am yr Arglwydd.

‡ les. § wybuant oddi wrth.

14 O blegid yr hwn a wrthodasent hwy yn watwarus, wedi ei fwrw allan gynt wrth daflu allan *y plant newydd-eni*, hwnnw a fu ryfedd ganddynt hwy yn niwedd y pethau a ddigwyddasant, gan fod arnynt syched amgen nag ar y rhai cyfiawn.

15 Am anneallgar ddychymygion eu hanghyfiawnder hwynt, trwy y rhai wedi eu twyllo yr addolasant ymlusgiaid anrhesymmol, a bwystfilod gwael, yr anfonaist lawer o anifeiliaid heb reswm i ddïal arnynt hwy;

16 Fel y gallent hwy wybod mai [g] trwy'r pethau y pecha neb, trwy'r un pethau hefyd y cospir ef.

g Pen. 12. 23.

17 O blegid ni rwystrwyd dy law di, yr hon sydd holl-alluog, ac a wnaeth y byd o afluniaidd ddefnydd, fel na allasai anfon arnynt hwy lawer o eirth, a llewod hŷ,

18 Neu anifeiliaid dïeithr llawn o ddig, wedi eu newydd-grëu, yn anadlu tarth tanllyd, neu || dwrf mwg, yr hwn a drŷ y gwynt, neu wreichion aruthrol o'u llygaid fel mellt;

|| ddrygsawr mwg gwasgaredig.

19 Y rhai ni allai eu niweid hwynt yn unig eu dinystrio hwy, eithr eu golwg erchyll hwynt hefyd eu difetha hwy ar unwaith.

20 Heb y rhai hyn hefyd trwy un awel y gallasent hwy syrthio, wrth gael eu hymlid gan ddïaledd, a'u gwasgaru trwy † yspryd dy nerth di: eithr tydi a drefnaist bob peth wrth fesur, a rhif, a phwys.

† anadl.

21 Canys bob amser ‡ yr ydwyt ti yn gallu llawer, a phwy a wrthwyneba nerth dy fraich di.

‡ y gelli ddangos dy fawr nerth pan fynnych.

22 O blegid megis tippyn allan o gloriannau yw'r holl fyd yn dy olwg di, ac megis defnyn o wlith y bore, yr hwn a ddisgyn ar y ddaear.

23 Ond yr ydwyt ti yn trugarhâu wrth bob peth: o blegid ti a elli bob dim, ac yr ydwyt heb gymmeryd arnat weled pechodau dynion; fel yr edifarhäent hwy.

24 Y mae yn hoff gennyt ti bob peth a'r y sydd, ac nid ffiaidd gennyt ddim a'r a wnaethost: ie ni wnaethit ti ddim pe buasai gas gennyt ef.

25 A pha fodd y parhasai dim, oni buasai dy ewyllys di; neu y cadwesid, heb ei alw gennyt ti?

26 Ond [h] yr ydwyt ti yn arbed pob peth: o blegid yr eiddot ti ydynt hwy, O Arglwydd, yr hwn sydd yn caru eneidiau.

h Pen. 12. 16.

## PEN. XII.

*2 Na ddinystriodd Duw holl bobl Canaan ar unwaith. 12 A phe gwnaethai hynny, pwy a allasai ddywedyd yn ei erbyn ef? 19 Ond efe a'u harbedodd hwy er addysg i ni. 27 Darfod eu cospi hwy, a'u duwiau hefyd.*

Hydref, 19. P. Puredigaeth Mair, P.

CANYS y mae dy Yspryd anllygredig di ym mhob peth.

2 Am hynny yr wyt ti yn ceryddu bob ychydig ac ychydig, y rhai a droseddant, ac yn eu rhybuddio trwy alw i'w cof hwynt y pethau y pechasant ynddynt, fel yr ymadawent hwy â'u drygioni, ac y credent ynot ti, O Arglwydd.

3 Canys dy ewyllys di oedd trwy ddwylaw ein tadau ni ddifetha hen breswylwŷr y tir sanctaidd.

4 Y rhai oedd gas gennyt ti, o herwydd atgasaf weithredoedd swynion, ac aberthau annuwiol,

5 [a] A'r anhrugarog leiddiaid y plant hynny hefyd, a bwyttawŷr perfedd cnawd dynion, a'u gwleddau gwaedlyd,

a Pen. 14. 23.

6 Gyd â'u hoffeiriaid o ganol eu gwehilion eilun-addolaidd, a'r tadau y rhai a laddodd â'u dwylaw eu hun eneidiau † digarad;

† digymmorth.

7 Fel y gallai'r wlad sydd guaf gennyt ti gael plant Duw ‡ i'w chyfanneddu yn addas.

‡ yn drigolion newydd.

8 Eithr ti a arbedaist y rhai hyn megis dynion, ac a anfonaist [b] gacwn o flaen dy lu, i'w goresgyn hwy bob ychydig ac ychydig.

b Exod. 23. 28. Deut. 7. 20. Jos. 24. 12.

9 Nid o herwydd na's gallasit ti ddarostwng yr annuwiol i'r rhai cyfiawn trwy ryfel, neu eu difetha hwy ar unwaith trwy fwystfilod creulon, neu air caled;

10 Eithr gan farnu o fesur ychydig ac ychydig, ti a roddaist le i edifeirwch, pan nad oedd anhysbys i ti fod eu cenhedlaeth hwynt yn ddrygionus, a'u drygioni yn anianol, ac na newidiai eu meddwl hwynt byth.

11 Canys hiliogaeth [c] felldigedig oeddynt hwy o'r dechreuad: ond ni roddaist ti ddiogelwch iddynt am y pethau y pechent hwy ynddynt, er ofn neb.

c Gen. 9. 25.

12 O blegid pwy a ddywed, [d] Beth a wnaethost ti? neu pwy a wrthwyneba dy farn di? pwy a gwyna rhagot ti, am y cenhedloedd a ddifethwyd, y rhai a wnaethost ti? neu pwy a ddaw i sefyll § i'th erbyn, i ddïal dros ddynion anghyfiawn?

d Rhuf. 9. 20. § yn dy wyneb yn ddïalwr.

13 Nid oes Duw ond tydi [e] yn gofalu am bob peth, i ddangos nad wyt yn barnu yn anghyfiawn.

e 1 Petr 5. 7.

14 Nid oes na brenhin, na theyrn, a ddichon osod ei wyneb yn dy erbyn di, am y rhai a gospaist ti.

15 Am dy fod di yn gyfiawn, yr ydwyt ti yn trefnu pob peth yn gyfiawn, [f] gan gyfrif yn beth amherthynol i'th allu di roddi barn yn erbyn yr hwn ni ddylai ei gospi.

f Job 10. 2.

16 O blegid dechreuad cyfiawnder yw dy nerth di; [g] a'th fod di yn Arglwydd ar bob peth, sydd yn peri it' arbed pob peth.

g Pen. 11. 26.

17 Pan ni chredir dy fod di o || berffaith allu, yr wyt ti yn dangos dy nerth, ac ym mhlith y rhai a'i hedwyn, yr wyt ti yn amlygu eu hyder hwynt.

|| cyflawn.

18 Yn gyfiawn yr wyt ti yn barnu, gan feistroli dy allu, a thrwy lawer o arbed yr wyt ti yn ein llywodraethu ni: o blegid y mae gennyt ti allu pan fynnech.

19 A thi a ddysgaist dy bobl wrth y cyfryw weithredoedd, fod yn rhaid i'r cyfiawn fod yn gu ganddo ddyn, a thi a wnaethost dy blant yn dda eu gobaith, o herwydd i ti roddi edifeirwch am bechodau.

h Rhuf. 9. 22. 20 Canys os mor ystyriol h y cystuddiaist ti elynion dy blant, y rhai a ddylent farwolaeth, gan roddi amser a modd i newidio oddi wrth ddrygioni;

21 A pha ofal y bernaist ti dy blant dy hun, i rieni pa rai y rhoddaist ti lwon, ac ammodau o addewidion da?

22 Am hynny lle yr wyt ti yn ein ceryddu ni, yr ydwyt ti yn ffrewyllu ein gelynion ni yn ddengmil mwy; fel pan farnom ni, y gallom feddwl am dy ddaioni di; a phan y'n barner, ddisgwyl am drugaredd.

i Pen. 11. 16. a 16. 1. 23 Am yr hwn beth i y rhoddaist ti ddïaledd ar y rhai a fuant fyw 'n anghyfiawn mewn buched angall, trwy eu ffiaidd † weithredoedd eu hun.

† *eilunod.*

k Pen. 11. 15. Rhuf. 1. 23. 24 Canys k hwy a gyfeiliornasant yn ffordd cyfeiliorni ym mhell, gan gymmeryd y rhai oedd ammharchus ym mysg anifeiliaid eu gelynion, yn lle duwiau, wedi eu twyllo fel plant angall.

25 Am hynny yr anfonaist ti iddynt hwy, megis i blant direswm, dy farnedigaeth i'w gwatwar.

26 Y rhai ni chymmerant rybudd trwy 'r gwatwarus gerydd *hyn*, a gânt brofi addas farnedigaeth Duw.

27 Canys wele, o blegid y rhai yr oeddynt hwy yn grwgnach wrth ddioddef drostynt, sef dros y rhai a dybiasent hwy eu bod yn dduwiau, pan welsant hwy eu cospi yn y rhai hynny, hwy a gydnabuant mai gwir Dduw oedd yr hwn a wadasent hwy o'r blaen eu bod yn ei adnabod: ac am hynny y daeth dygn ddamnedigaeth arnynt hwy.

## PEN. XIII.

Hydref, 20. B. 1 *Na bu ddïesgus y rhai a addolasant ddim o waith Duw: 10 ond truanaf o gwbl yw y rhai a addolant waith dwylaw dynion.*

OFER yn ddïau o naturiaeth yw'r dynion oll sydd heb adnabod Duw,
a Rhuf. 1. 19. a heb fedru adnabod yr hwn sydd, wrth y pethau da a welir: ac ni adnabuant y gweithydd wrth ystyried y gwaith.

b Deut. 4. 19. a 17. 3. 2 Eithr hwy b a dybiasant mai'r tân, neu 'r gwynt, neu yr awyr buan, neu gylch y ser, neu ddwfr chwyrn, neu oleuadau 'r nefoedd, oeddynt dduwiau yn llywodraethu 'r byd.

3 Os am fod yn hyfryd ganddynt degwch y rhai hyn, y cymmerasant hwynt yn dduwiau; gwybyddant pa faint gwell yw eu Harglwydd hwynt: o blegid yr hwn sydd o naturiaeth yn awdur tegwch a'u creodd hwynt.

4 Os eu gallu a'u gweithrediad sydd ryfedd ganddynt hwy, ystyriant pa faint mwy yw gallu yr hwn a'u gwnaeth hwynt.

5 Wrth faint a thegwch y pethau a grëwyd, wrth eu cyffelybu, y gwelir yr hwn a'u gwnaeth hwynt.

6 Er hynny yn hyn y mae bai y rhai hyn yn llai: canys y maent hwy mewn amryfus ond odid yn ceisio Duw, ac yn ewyllysio ei gael ef.

c Rhuf. 1. 21. 7 O blegid c y maent hwy trwy drin ei waith ef, yn chwilio yn ddyfal, ac yn coelio eu golwg; o achos bod y pethau a welir yn dêg.

8 Ac etto nid ydynt hwy esgusodol.

9 O blegid os gallent hwy wybod cymmaint a medru amcanu at y byd, paham na chawsant hwy yn gynt Arglwydd y pethau hyn?

10 Eithr annedwydd ydynt hwy, a'u gobaith sydd mewn d pethau meirw, y rhai a alwasant waith dwylaw dynion yn dduwiau, sef aur ac arian, pethau wedi eu dychymmyg trwy gelfyddyd, a lluniau anifeiliaid, neu garreg ddifudd o waith hen law. d Adn. 18. Pen. 15. 17.

11 Ac e yn awr saer pren, wedi iddo efe lifio pren i'r gwaith, a thynnu o amgylch ei holl risgl ef yn gelfydd, a'i weithio yn gyfarwydd, a gwneuthur llestr buddiol i wasanaethu i fywyd dyn; e Esay 44. 13. Jer. 10. 3.

12 Ac ymlenwi wedi iddo dreulio ysglodion ei waith yn arlwyo ei fwyd;

13 Ac yn cymmeryd yr hyn a fwrid ymaith o honynt hwy yn bren ystwyrgam difudd i ddim, eithr yn llawn cnappiau, a'i cerfiodd yn ofalus pan gaffai ennyd, ac a'i lluniodd wrth gyfarwyddyd ei ddeall, ac a'i gwnaeth ar lun dyn,

14 Neu a'i gwnaeth yn debyg i anifail gwael, gan ei amliwio â choch, a'i baintio â lliw, a phaintio pob gwrthuni ynddo,

15 f Wedi iddo wneuthur iddo le addas, a'i gosododd wrth bared, ac a'i sicrhaodd â haiarn; f Esay 46. 7.

16 Efe a ofalodd ym mlaen llaw rhag iddo syrthio; gan wybod na allai efe help iddo ei hun: o blegid delw yw efe, ac yn rhaid iddo wrth help:

17 Yna efe a weddïa am ei ddâ, † am ddyweddi iddo ei hun, ac am blant, heb arno gywilydd lefaru wrth y marw. † *dros ei wraig a'i blant.*

18 Y mae efe yn galw ar y gwàn am iechyd; yn gofyn hoedl g i'r marw; yn ymbil am help gan yr hwn ni ŵyr ddim; ac am ei daith yn gweddïo at yr hwn ni all gerdded cam; g Adn. 10.

19 Ac am elw, a gwaith, a dedwyddwch llaw, yn gofyn llwyddiant gan yr hwn sydd ddiymmafi i wneuthur dim.

## PEN. XIV.

1 *Er nad yw dynion yn gweddïo ar eu llongau, 5 etto y rhai hynny, ac nid eu heilunod sydd yn eu cadw hwynt. 8 Melldigedig yw 'r eilunod, a'r rhai a'u gwnant. 14 Dechreu delw-addoliaeth, 23 a pha beth a barodd hi. 30 Y cospa Duw y rhai a dyngo i'w heilunod yn anwir.* Hydref, 20. P.

TRACHEFN pan fyddo un yn ymbarottôi i fordwyo, ac ar fyned trwy donnau geirwon, efe a waedda ar bren pydrach nâ 'r † llong a fyddo yn ei ddwyn ef. † *llestr.*

2 O blegid chwant i elw a ddychymygasai ‡ honno, a thrwy ei gelfyddyd y gwnaeth y gweithiwr hi. ‡ *lestr. neu, long.*

3 Eithr dy ragluniaeth di, O Dad, sydd yn ei llywodraethu: o blegid ti a a roddaist ffordd yn y môr a llwybr dïogel yn y tonnau, a Exod. 14. 22.

4 Gan ddangos y gelli di achub rhag pob peth, ïe ped ai dyn i'r môr heb gelfyddyd.

5 Etto ti a fynni na byddo gweithredoedd dy ddoethineb yn segur: am hynny 'r ymddiried dynion i dippyn o bren am eu heinioes, a chan dreiddio trwy 'r garw-fôr mewn llestr gwan, ydynt gadwedig.

6 Ac b yn y dechreuad pan ddifethwyd y cawri beilchion, gobaith y byd trwy ffoi i long, a adawodd i'r byd had genedigaeth, wedi ei llywodraethu â'th law di. b Gen. 6. 4. a 7. 10.

7 Canys bendigedig yw 'r pren, trwy yr hwn y daw cyfiawnder.

c Psal. 115. 8. baruch 6. 4.

8 Eithr c melldigedig yw 'r hyn a wnaed â llaw, a'r hwn a'i gwnaeth: hwn, am iddo ei weithio ef; a hwnnw, am ei alw ef yn dduw, ac yntau yn llygredig.

d Psal. 5. 5.

9 d Yr annuwiol a'i annuwioldeb ydynt mor gas gan Dduw bob un â'i gilydd.

10 O herwydd yr hyn a wnaed, ynghŷd â'r hwn a'i gwnaeth, a gospir.

e Edrych Esai. 19. 1. Jer. 46. 25. a 10. 3.

f Jer. 10. 8. Hab. 2. 18.

11 Am hynny e y bydd ymweliad ar eilunod y Cenhedloedd; am eu gwneuthur hwy ym mysg creaduriaid Duw yn ffieiddra, ac f yn dramgwydd i eneidiau dynion, ac yn fagl i draed y rhai angall.

g Adn. 27.

12 Canys dechreuad godineb *ysprydol* oedd g ddychymygu eilunod, a'u caffaeliad hwy oedd llygredigaeth buchedd.

13 O blegid o'r dechreuad nid oeddynt hwy, ac ni byddant yn dragywydd chwaith.

14 Trwy ofer-ffrost dynion y daethant i'r byd; ac am hynny y bydd eu diwedd ar fyrder.

15 Y tad yn gystuddiol trwy anamserol alar am ei fab, yr hwn a ddygwyd ymaith yn gyunar, gwedi gwneuthur iddo ef ddelw, yn awr a'i haddolodd megis yn dduw, yr hwn oedd y pryd hwnnw yn ddyn marw, ac a roddes i'r rhai oedd dano seremoniau ac aberthau.

† *brenhinoedd.*

16 Yna y cadwyd yn lle cyfraith yr annuwiol ddefod, yr hon a gryfhasai mewn amser, ac wrth orchymyn † teyrniaid yr addolwyd delwau cerfiedig:

‡ *yn bresennol.*

17 Y rhai ni allai dynion eu hanrhydeddu ‡ yn eu gŵydd, am eu bod yn trigo ym mhell, hwy a gymmerasant lûn eu gwedd hwynt o bell, ac a wnaethant hynod ddelw brenhin, yr hwy a anrhydeddent, er mwyn trwy eu dyfalwch hwn, gwenieithio iddo ef oedd absennol, fel pe bai bresennol.

18 A chwant y crefftwr i gael anrhydedd, a annogodd yr annysgedig i addoli fwyfwy.

19 O blegid efe ond odid yn ewyllysio rhyglyddu bodd llywydd, a ymegnïodd trwy ei gelfyddyd i osod y llûn i'r goreu.

20 A'r gwerin, wedi eu denu trwy degwch y gwaith, a gyfrifent yna yn dduw, yr hwn ychydig o'r blaen a berchid fel dŷn.

§ *Duw.*

21 A hyn a fu yn achlysur i dwyllo 'r byd: o herwydd dynion yn gwasanaethu mewn drygfyd, a than drahäusder, a roddasant i gerrig a phrennau yr Enw § anghyfrannog.

22 Wedi hynny nid oedd ddigon cyfeiliorni ynghylch adnabod Duw, eithr lle yr oeddynt yn byw ym mawr ryfel anwybodaeth, y mawr ddrygau hynny a alwent hwy yn heddwch.

h Deut. 18. 10. Jer. 7. 9. a 19. 4. Psal. 106. 37.

23 O blegid tra oeddynt hwy h yn lladd eu plant mewn aberthau, ac yn arfer dirgeledigaethau cuddiedig, neu, yn gwneuthur ynfyd gyfeddach o seremoniau dïeithr;

24 Ni chadwent hwy na'u buchedd, na'u priodas yn lân. Y naill a laddai 'r llall mewn cynllwyn, neu a'i gofidiai trwy odineb.

25 Pob peth oedd yn gymmysglyd, gwaed a chelanedd, lledrad a thwyll, llygredigaeth, anffyddlondeb, terfysg, anudon,

26 Aflonyddwch i'r rhai da, angof am gymmwynas, halogedigaeth eneidiau, cyfnewid genedigaethau, anllywodraeth mewn prïodasau, godineb, ac anlladrwydd.

27 O blegid addoliad eilunod, y rhai ni ddylid eu henwi, yw dechreu, ac achos, a diwedd pob drygioni.

28 Canys tra fyddont hwy yn llawen, y maent hwy naill ai yn ynfydu, ai yn prophwydo celwydd, ai yn byw yn anghyfiawn, ai yn tyngu anudon yn hawdd.

29 O blegid tra ydynt hwy yn coelio i eilunod meirw, er iddynt dyngu yn ddrwg, nid ydynt yn disgwyl dïaledd.

30 Eithr fe ddaw iddynt hwy yr hyn sydd gyfiawn am y ddau, sef am feddwl am Dduw ar fai, gan lynu wrth eilunod; a thyngu yn anghyfiawn ac yn dwyllodrus, gan ddirmygu sancteiddrwydd.

31 O blegid nid gallu y rhai y tyngir iddynt, eithr iawn gosp pechaduriaid a ddaw byth ar drosedd y rhai anghyfiawn.

## PEN. XV.

1 *Yr ydym yn cydnabod y gwir Dduw.* 7 *Ffolcd yw y rhai sy'n gwneuthur eilunod,* Hydref, 21. B.
*14 a gelynion pobl Dduw.* 15 *gan eu bod hwy heb law eilunod y Cenhedloedd,* 18 *yn addoli anifeiliaid ffiaidd.*

EITHR tydi, ein Duw, ydwyt ddaionus a geirwir; yn hir-ymarhöus, ac mewn trugaredd yn llywodraethu pob peth.

2 O blegid os pechwn ni, eiddot ti ydym ni, y rhai a wyddom dy gryfder di: ond ni phechwn ni, a ninnau yn gwybod ein cyfrif ni yn eiddot ti.

3 Canys cyfiawnder cyflawn yw dy adnabod di, a gwreiddyn tragywyddoldeb yw gwybod dy nerth di.

4 Canys ni thwyllodd drwg-gelfyddus ddychymmyg dŷn mo honom ni, na chysgod portreiadau poen ddiffrwyth, llûn wedi ei fritho ag amryw liwiau;

5 Golwg y rhai sydd yn peri chwant i'r rhai angall, ac felly y maent yn chwennych llun delw farw ddïanadl.

6 Rhai yn hoffi pethau drygionus, ac yn haeddu 'r fath bethau i goelio iddynt, yw y rhai a'u gwnant hwy, y rhai a'u chwennychant, y rhai a'u gwasanaethant.

7 Canys a y crochenydd hefyd a dylina a Rhuf. 9. 21.
bridd meddal, ac a lunia yn boenus bob llestr i'n gwasanaeth ni; o'r un clai y llunia efe rai llestri i wasanaethu mewn gwaith glân, a rhai yr un modd i'r gwrthwyneb: i ba beth y gwasanaetha pob un o'r ddau fath hyn, y crochenydd ei hun sydd farnwr.

8 Ac o'r un clai, trwy ddrygionus boen, y llunia efe dduw ofer, yr hwn a wnaethid ei hun o'r ddaear ychydig o'r blaen, ac ychydig wedi a â i'r hon y cymmerwyd ef o honi, pan ofynner b yr einioes a fenthygiwyd iddo. b Luc 12. 20.

9 Nid am ei fod efe yn cymmeryd poen, nac am fod ei hoedl ef yn ferr, y mae ei ofal ef, eithr y mae efe yn ymryson â gofaint aur ac arian, ac yn dynwared y gofaint pres, ac y mae efe yn cyfrif yn anrhydedd iddo fod yn llunio pethau gau.

10 Lludw yw ei galon ef, ei obaith hefyd sydd waelach nâ'r ddaear, a'i fywyd yn fwy ammharchus nâ 'r clai;

11 Am nad adwaenai efe yr hwn a'i gwnaeth, a'r hwn a roddes enaid grymiol iddo ef, ac c a anadlodd ysbryd bywiol c Gen. 2. 7.
ynddo.

12 Eithr cyfrif y maent hwy mai chwarae yw ein heinioes ni, ac mai marsiandiaeth i elwa yw ein bywyd ni; o blegid rhaid, meddant, yw elwa o ba le bynnag, byd yn oed o ddrygioni.

13 Canys hwn yn anad neb a ŵyr ei fod yn pechu, yr hwn sydd yn gwneuthur breuon lestri, a delwau o ddefnydd daearol.

14 A holl elynion dy bobl di y rhai a arglwyddiaethant arnynt, ydynt o'r fath ffolaf, ac yn anhappusach nâ phlant bychain.

15 O herwydd iddynt dybied bod holl eilunod y cenhedloedd yn dduwiau; [d] i'r rhai nid oes na llygaid yn gwasanaethu i weled, na ffroenau i dynnu'r † awyr attynt, na chlustiau i glywed, na bysedd dwylaw i deimlo, a'u traed hwy sydd ddiog i gerdded.

[d] Psal. 115. 5. a 135. 16.
† *anadl.*

16 O blegid dŷn a'u gwnaeth hwynt, a'r hwn nid oes ganddo ond benthyg yspryd a'u lluniodd hwynt; eithr ni ddichon un dŷn wneuthur duw tebyg iddo ei hun.

17 Canys efe yn farwol a weithia [e] beth marw â dwylaw anwir: gwell yw efe ei hun nâ'r pethau y mae efe yn eu haddoli; o blegid efe a fu fyw *unwaith*, a hwythau ni buant erioed.

[e] Pen. 13. 10, 18.

18 Y maent hwy yn addoli'r anifeiliaid casaf: o blegid wrth eu cyd-gyffelybu, y mae rhai yn waeth nag eraill.

19 Nid ydynt mor dêg ag anifeiliaid eraill i'w dymuno: canys methodd ganddynt gael na chlod gan Dduw na'i fendith ef.

## PEN. XVI.

Hydref, 21. P.

*2 Rhoi o Dduw ymborth dieithr i'w bobl, i chwanegu eu blys, ac anifeiliaid drwg yn elynion, i'w ddwyn oddi arnynt. 5 Efe a'u brathodd hwy â seirph, 12 ond efe a'u hiachâodd hwy â'i air yn unig. 17 Darfod i'r creaduriaid newidio eu naturiaeth er daioni i bobl Dduw, ac er drwg i'w gelynion.*

AM hynny y cospwyd hwynt [a] â'r cyffelyb fel yr haeddent, ac [b] y dïaleddwyd hwynt â lliaws o anifeiliaid.

[a] Pen. 12. 23.
[b] Num. 21. 6. Pen. 11. 15, 16.

2 Yn lle yr hwn ddïaledd y gwnaethost ti ddaioni i'th bobl dy hun, i ba rai, i godi eu chwant hwynt, parottoaist ti [c] soflieir yn ymborth o flas dïeithr:

[c] Num. 11. 31.

3 Fel y byddai iddynt hwy, yn chwennych ymborth, ddigaru'r peth oedd anghenrhaid ei chwennych, o herwydd golwg anhawddgar yr anifeiliaid a anfonesid i'w mysg; ac y gwneid y rhai hyn, wedi eu bod dros ychydig ennyd mewn eisiau, yn gyfrannogion o archwaeth newydd.

4 O blegid yr oedd yn rhaid i angen, yr hwn ni ellid ei ochel, ddyfod ar y rhai hynny a arferasant drahäusder: eithr i'r rhai hyn, digon oedd yn unig ddangos pa fodd y rhoed dïaledd ar eu gelynion hwynt.

5 Canys pan ddaeth creulon lid bwystfilod ar † y rhai hyn, a'u difetha hwynt â [d] brathiadau seirph dolennog,

† *dy bobl.*
[d] Num. 21. 5. 1 Cor. 10. 9.

6 Nid hyd y diwedd yr arhodd dy ddigofaint di: eithr i'w rhybuddio y blinwyd hwynt ychydig o ennyd, gan gael [e] arwydd iachawdwriaeth, i beri iddynt feddwl am orchymyn dy gyfraith di.

[e] Num. 21. 9.

7 O blegid yr hwn a drodd *at yr arwydd hwnnw a iachäwyd*, nid gan yr hwn a welid, eithr gennyt ti, Iachawdwr pob peth.

8 A thrwy hyn y gwnaethost ti i'n gelynion ni gredu mai tydi yw'r hwn sydd yn achub o bob drwg.

9 [f] Y rhai a laddodd brath locustiaid a chaccwn; ac ni chaed meddyginiaeth iddynt hwy: o blegid hwy a haeddent eu cospi â'r cyfryw.

[f] Exod. 8. 24. a 10. 4. Dat. 9. 3, &c.

10 Oni ni wnai dannedd dreigiau gwenwynig niwed i'th blant di: o blegid dy drugaredd di a ddeuai yn erbyn hynny, ac a'u hiachâi hwynt.

11 Canys i feddwl am dy ymadroddion di y brathwyd hwynt; a hwy yn ebrwydd a iachawyd, fel, heb syrthio mewn dwfn angof, ‡ y cofient yn wastad dy ddaioni di.

‡ *na allent byth mo'u tynnu oddiwrth dy ddaioni di.*

12 O blegid nid llysieuyn nac eli a'u hiachaodd hwynt, eithr dy air di, O Arglwydd, yr hwn sydd yn iachau pob dim.

13 O herwydd [g] y mae i ti feddiant ar einioes ac angeu, ac yr ydwyt ti yn dwyn i wared hyd byrth uffern, ac yn dwyn i fynu drachefn.

[g] Deut. 32. 39. 1 Sam. 2. 6. Tob. 13. 2.

14 A dŷn yn ei ddrygioni a ladd: a phan elo'r yspryd allan, ni ddychwel efe; ac ni ddaw yn ei ol yr enaid a gymmerer i fynu.

15 Eithr amhossibl yw dïangc rhag dy law di.

16 O blegid [h] annuwiolion, [i] y rhai sydd yn gwadu eu bod yn dy adnabod di, a ffrewyllwyd o nerth dy fraich di, gan gael eu herlid â rhyfeddol wlaw a chenllysg, ac â chafodau heb allu eu gochelyd, a hwy a ddifethwyd â thân.

[h] Exod. 9. 23.
[i] Exod. 5. 2.

17 A'r hyn sydd ryfeddaf, [k] y tân oedd yn gweithio fwyfwy yn y dwfr, yr hwn sydd yn diffoddi pob peth: canys y mae'r byd [l] yn ymladd dros y rhai cyfiawn.

[k] Pen. 19. 20.
[l] Barn. 5. 20.

18 Canys weithiau fe fyddai lai y fflam, fel na losgai hi'r anifeiliaid a anfonesid yn erbyn y rhai annuwiol; eithr trwy weled, hwy a allent wybod eu hunain mai trwy farn Duw yr erlidid hwynt.

Edrych Adn. 24.

19 Ac weithiau efe a losgai ym mysg y dwfr, yn fwy nag y gallai tân, i ddifetha ffrwyth tir anghyfiawn.

20 [m] Yn lle hynny â bwyd Angylion y porthaist ti dy bobl dy hun, a thi a ddanfonaist iddynt hwy fara parod o'r nefoedd yn ddiboen, yr hwn a wasanaethai i bob hyfrydwch, ac i bob archwaeth yn gymmwys.

[m] Exod. 16. 14. Num. 11. 7. Psal. 78. 25. Ioan 6. 31.

21 Canys dy [n] § ymborth di oedd yn dangos dy felusdra i'th blant, ac yn gwasanaethu chwant y bwyttäwr, ac yn ymdymheru wrth fodd pob un.

[n] Barn. 6. 4.
§ *Manna.*

22 [o] Yr eira hefyd a'r iâ oedd yn dioddef y tân, ac heb doddi; fel y gallent hwy wybod mai'r tân, yr hwn oedd yn ffaglu yn y cenllysg, ac yn llewyrchu yn y gwlaw, oedd yn difetha ffrwyth y gelynion.

[o] Pen. 19. 20.

23 Hwn hefyd, fel y cai y rhai cyfiawn eu cynnal, a ollyngodd ei allu dros gof.

24 O blegid [p] y creadur, yr hwn sydd yn dy wasanaethu di, yr hwn a wnaethost bob peth, a annelir i beri cospedigaeth ar yr anghyfiawn, ac a ddad-annelir i wneuthur daioni i'r rhai a ymddiriedant ynot ti.

[p] Pen. 19. 6.

25 Am hynny efe yna yn ymrithio i bob ‖ peth, a wasanaethai dy ras di, yr hwn sydd yn maethu pob peth wrth ewyllys y rhai † anghenus:

‖ *sut.*
† *o weddient.*

26 Fel y dysgo dy blant di, y rhai sydd hoff gennyt ti, O Arglwydd, [q] nad cynnyrch ffrwyth sydd yn porthi dŷn; eithr mai dy air di sydd yn cadw y rhai a gredant ynot.

[q] Deut. 8. 3. Mat. 4. 4.

27 O blegid y peth ni ddifethodd y tân, [r] wedi ei dwymno ychydig gan belydr yr haul, a feiriolodd yn ebrwydd.

[r] Exod. 16. 21.

28 Fel y byddai hysbys [s] y dylid achub blaen yr haul, i roddi dïolch i ti, a gweddïo arnat ti ar dorriad y dydd.

[s] Psal. 88. 13.

29 O blegid gobaith yr anniolchgar a dawdd ymaith fel llwydrew'r gauaf, ac a red ymaith fel dwfr difudd.

## PEN. XVII.

Hydref. 22. B.

*1 Paham y cospwyd yr Aiphtiaid â thywyllwch. 4 Mor erchyll oedd y tywyllwch hwnnw. 11 Mor ofnadwy yw cydwybod ddrwg.*

DY farnedigaethau di sydd fawr, ac ni ellir eu traethu: am hynny yr aeth † y rhai annysgedig ar gyfeiliorn.

† *yr eneidiau ni fynnent eu gwelleu.*

2 O blegid y rhai anwir yn amcanu gorthrymmu 'r genedl sanctaidd, [a] wedi eu gwarchae yn eu tai, yn garcharorion tywyllwch, a'u llyffetheirio â rhwymau hirnos, a orweddasant yno, yn ffoaduriaid oddi wrth y rhagluniaeth dragywyddol.

[a] Exod. 10. 22.

3 Canys pan dybiasant hwy lechu mewn cuddiedig bechodau, dan dywyll orchudd anghof, hwy a wasgarwyd, wedi eu dychrynu yn aruthrol, a'u trallodi gan weledigaethau *dieithr.*

4 Canys ni allai 'r gilfach a'u daliai hwynt eu cadw hwy yn ddïofn: eithr yr oedd twrf yn swnio o'u hamgylch, yr hwn oedd yn eu blino hwynt, a gweledigaethau pruddaidd ag wyneb sarrug yn ymddangos iddynt.

5 Nid oedd dim gallu gan y tân i lewyrchu: ac ni allai ddisglair lewyrch y ser oleuo 'r nos erchyll honno.

6 Eithr tân yn unig yn cynneu o hono ei hun, yn ofnadwy iawn, a ymddangosodd iddynt hwy; wedi eu dychrynu hwynt â'r weledigaeth honno ni welid, hwy a dybiasant fod y pethau a welid yn waeth.

7 [b] Felly y bwriwyd i lawr oferedd celfyddyd hudoliaeth, a'r gwaradwyddus gerydd a gafodd y rhai a wnaent ffrost o'u doethineb.

[b] Exod. 7. 12. a 8. 7, 19.

8 O blegid y rhai a addawsant yrru ymaith ofn a blinder oddi wrth enaid llesg, a aethant yn llesg eu hun rhag ofn yr hwn y gellid chwerthin am ei ben.

9 O herwydd er nad oedd dim erchyll yn eu hofni hwynt; er hynny wedi eu dychrynu wrth fynediad bwystfilod heibio, a chwibaniad seirph,

10 Buant feirw o ofn, gan ommedd edrych ar yr awyr, yr hwn nid oedd le i'w ochelyd.

11 Canys peth ofnus yw drygioni, wedi rhoddi barn i'w erbyn wrth ei dystiolaeth ei hun; a'r gydwybod yn gwasgu arno sydd yn darogan pethau blin yn wastadol.

12 Canys nid yw ofn ddim, ond bradychu yr help a gaffer gan reswm.

13 A'r disgwyliad oddi fewn yn llai, a gyfrif yr anwybodaeth yn fwy na'r achos yr hwn sydd yn peri blinder.

14 Eithr hwynt yn cysgu yr un hûn y noson honno, yr hon ni ellid yn ddïau ei dioddef, ac a ddaethai arnynt o waelodion uffern anocheladwy;

15 Weithiau a flinid â gweledigaethau rhyfedd, ac weithiau a lewygent gan ball calon: canys ofn disymmwth, ac heb edrych am dano, a ddaeth arnynt.

16 Felly pwy bynnag a syrthiai yno, efe a gedwid, ac a gauid mewn carchar heb haiarn.

17 Canys pa un bynnag ai llafurwr fyddai un, neu fugail, neu un yn gweuthur y gwaith sydd yn y ‡ diffaethwch, pan ddelid ef, efe a ddïoddefai yr angen ni's gellid ei ochelyd: o blegid ag un gadwyn tywyllwch y rhwymid hwynt oll.

‡ *maes.*

18 Pa un bynnag ai gwŷnt chwiban, ai hyfrydaidd sain adar ym mysg y canghennau tewion; ai § cyssain dwfr yn cerdded yn chwyrn,

§ *cyssondeb.*

19 Ai swn erchyll creigiau a fwrid i lawr, ai rhedfa anifeiliaid yn moelystotta heb ei gweled, ai llais creulon bwystfilod rhuadwy, ai carreg-lefain yn dadseinio o ogofeydd y mynyddoedd; y pethau hyn a'u dychrynai hwy, fel y llewygent.

20 Canys yr holl fyd a oleuid yn oleu ddisglair, ac ni rwystrid neb yn eu gwaith:

21 Yn unig arnynt hwy y daethai nos drom, cyffelybrwydd i'r [c] tywyllwch a ddeuai arnynt hwy; eithr yr oeddynt iddynt eu hunain yn flinach na'r tywyllwch.

[c] Mat. 8. 12. a 22. 13. a 25. 30. 2 Petr 2. 17. Jud. 13.

## PEN. XVIII.

4 *Paham y cospwyd yr Aipht â thywyllwch,* 5 *ac â marwolaeth eu plant.* 18 *Eu bod hwy eu hun yn gweled yr achos o hynny.* 20 *Cospi o Dduw ei bobl ei hun; a pha fodd yr attaliwyd y bla honno.*

Hydref, 22. P.

EITHR i'th Saint di yr oedd [a] goleuni o'r mwyaf: llais y rhai yr oeddynt hwy yn eu clywed, ond nid oeddynt yn gweled eu gwedd hwynt, a hwy a'u cyfrifasant hwynt yn ddedwydd, am na ddïoddefasent hwythau yr un pethau.

[a] Exod. 10. 23.

2 Rhoddasant hefyd iddynt ddïolch, am na wnaethent niweid wedi cael cam o'r blaen, a dymunasant faddeuant am fod yn elynion iddynt.

3 [b] Yn lle hynny y rhoddaist iddynt hwy golofn o dân poeth, i flaenori yn y daith anhysbys, ac i fod yn haul diniweid i'r ymdaith barchedig.

[b] Exod. 13. 21. a 14. 24. Psal. 78. 14. a 105. 39.

4 Yr oeddynt hwy yn ddïau yn haeddu bod heb oleuni, a'u carcharu mewn tywyllwch, y rhai a gadwasant dy blant di yngharchar, trwy y rhai yr oedd anllygredig oleuni 'r gyfraith i'w roddi i'r byd.

5 [c] Pan amcanasent hwy ladd rhai bychain y Saint, yna [d] trwy un plentyn, yr hwn a fwriesid allan ac a gadwesid i'w cerydda hwynt, [e] y cymmeraist ymaith lawer o'u plant hwy, ac [f] a'u difethaist hwynt ar unwaith yn y dwfr cryf.

[c] Exod. 1. 16.
[d] Exod. 2. 3.
[e] Exod. 12. 29.
[f] Exod. 14. 24, &c.

6 [g] Ein tadau ni a gawsant wybodaeth am y nos honno o'r blaen; fel y byddent lawen, am eu bod yn gwybod yn ddïogel i ba lwon y credasent:

[g] Exod. 11. 4.

7 Felly y derbyniodd dy bobl di iachawdwriaeth y rhai cyfiawn, a dinystr y gelynion.

8 Canys megis y cospaist ti ein gwrthwynebwŷr, trwy 'r un peth y rhoddaist anrhydedd i ni, y rhai a alwesit ti.

9 [h] Canys sanctaidd blant y rhai daionus a aberthasant yn ddirgel, ac a osodasant † gyfraith dduwiol yn gyttûn; ar fod y rhai sanctaidd yr un modd yn gyfrannogion o dda a drwg, a'r tadau yn awr yn canu o'r blaen ganiadau mawl.

[h] Exod. 12.
† *gyfammod Duw.* Gwel Psal. 50. 5.

10 Eithr anghysson waedd y gelynion a ddadseiniodd o'r tu arall, a gresynol nâd oedd yn cerdded am blant y galerid am danynt.

11 [i] A'r un fath ddïaledd y cospid y gwas a'r meistr; yr un pethau yr oedd y gwreng a'r brenhin yn eu dioddef:

[i] Exod. 11. 5. a 12. 29.

12 Rhai aneirif oedd ganddynt hwy oll, wedi meirw ar unwaith o'r un farwolaeth, fel nad oedd digon o rai byw i'w claddu hwynt: canys mewn un moment y difethwyd eu hiliogaeth anrhydeddusaf hwy.

13 Canys lle na chredant hwy ddim o herwydd y swynion, pan ddifethwyd y cyntaf-anedig, y cyffesasant mai plant Duw oedd y bobl hyn.

14 O herwydd pan oedd pob peth mewn disdawrwydd tawel, a'r nos ynghanol ei gyrfa fuan,

15 Dy holl-alluog air di a neidiodd o'r nef o'th orseddfa frenhinol, i ganol y wlad ddinystriol, fel rhyfelwr ffrom,

16 Gan arwain dy orchymyn diragrith di yn lle cleddyf llym, yr hwn a safodd, ac a lanwodd bob peth â marwolaeth, ac oedd yn cyffwrdd â'r nefoedd er ei ddisgyn i'r ddaear.

17 Yna gweledigaethau breuddwydion aruthrol a'u blinasant hwy yn ddisymmwth, a'r ofn nid oeddynt yn ei ddisgwyl a ddaeth arnynt.

18 Ac wedi bwrw un i lawr yma, ac arall accw, yn hanner marw, hwy a fynegasant am ba achos yr oeddynt yn marw.

19 O blegid y breuddwydion, y rhai oedd yn eu blino hwynt, a rag-ysbysasent hyn, fel na ddifethid hwynt heb wybod paham yr oeddynt yn dioddef niweid.

20 Cyffyrddodd profedigaeth angeu weithiau â'r rhai cyfiawn hefyd, [k] a bu ddinystr ar y dyrfa yn y diffaethwch: ond ni hir-barhaodd y digter,

k Num. 16. 46, &c.

21 O blegid y gwr difai a'u diffynnodd hwynt ar frys, gan arwain arfau ei swydd ei hun, sef gweddi, a iawn o arogl-darth, ac a safodd yn erbyn y llid, ac a ddibennodd y cystudd, gan ddangos mai dy was di oedd efe.

22 Ac efe a orchfygodd y dinystrydd, nid o gryfder corph, na thrwy waith arfau; eithr â gair y darostyngodd efe yr hwn oedd yn cystuddio, gan goffâu † llw a chyfammod y tadau.

† y llwon, a'r cyfammodau a wnaethid â'r tadau.

23 Canys pan oedd y meirw yn syrthio ar eu gilydd yn dyrrau, efe a safodd yn y canol, ac a dorrodd y digter, ac a ‡ rannodd y ffordd oedd yn myned at y byw.

‡ dorrodd.

24 O blegid [l] yn y wisg laes yr oedd § yr harddwch oll, a gogoniant y tadau yngherfiad y pedair rhes o feini, a'th fawredd dithau yn y goron am ei ben ef.

l Exod. 21. 6, 9, 36. a 11. 10.

§ yr holl fyd.

25 I'r rhai hyn y rhoddes y dinystrydd le, ac a'u hofnodd hwynt: canys digon oedd yn unig brofi o honynt y digter.

## PEN. XIX.

Hydref, 23. B. S. Matthias, B.

1 *Paham na wnaeth Duw drugaredd â'r Aiphtiaid:* 5 *Ac mor rhyfeddol y gwnaeth efe â'i bobl.* 14 *Bod yr Aiphtiaid yn waeth nâ'r Sodomiaid.* 18 *Rhyfeddol mor gyttûn yw'r creaduriaid i wasanaethu pobl Dduw.*

EITHR digter didrugaredd a barhaodd hyd y diwedd i'r annuwiolion: o blegid efe a wyddai o'r blaen yr hyn a wnaent hwy;

2 Sef wedi iddynt roddi cennad iddynt i fyned ymaith, a'u gyrru hwy ar frys, y byddai edifar ganddynt, ac yr erlidient hwynt.

3 Canys pan oeddynt hwy yn galaru, ac yn wylofain wrth feddau'r meirw, hwy a ddychymmygasant feddwl ynfyd arall, a'r rhai a yrrasent hwy allan dan ymbil â hwynt, a erlidiasant hwy megis rhai yn ffoi.

4 O blegid y dynged a haeddent a'u harweiniodd hwynt i'r diwedd hwn, ac a wnaeth iddynt anghofio y pethau a ddigwyddasent eusus, fel y cyflawnent hwy y gospedigaeth oedd yn ol i'w dïaledd hwy.

5 Ac fel y cai dy bobl di fyned trwy ffordd ryfedd, ac y caent hwythau farwolaeth ddïeithr.

6 O blegid [a] pob creädur yn ei ryw ei hun a luniwyd drachefn o newydd, i wasanaethu'r gorchymynion prïodol a roddwyd iddynt, fel y cedwid dy blant [illegible] ddiniweid.

a Edrych Pen. 16. 24, 25.

7 Y cwmmwl a gysgododd [illegible] gwersyll, a lle y buasai [illegible] gwelid tir sych, ie yn y mô[illegible]ffordd ddirwystr, a maes yn dwyn [illegible] yn y ffrwd chwyrn,

8 Trwy yr hon yr aeth yr holl [illegible]dl a amddiffynnodd dy law di, gan weled gwyrthiau rhyfedd.

9 Fel meirch y porthasid hwynt, ac fel ŵyn y llamment hwy, gan dy foliannu di, O Arglwydd, eu gwaredydd hwynt.

10 O blegid hwy a gofient etto y pethau a ddigwyddasai tra'r oeddent yn ymdaith yn y wlad ddïeithr; y modd yn lle eppiliaeth anifeiliaid y dygasai'r ddaear allan † wybed, ac y dygasai yr afon allan lawer o † lau.

11 Eithr [b] wedi hynny hwy a wel'sant eppiledd newydd o adar, pan ddygwyd hwynt trwy flys i ddymuno bwyd dainteithiol.

b Exod. 16. 13. Num. 11. 31.

12 O blegid sofl-ieir a ddaeth i fynu o'r môr yn ‡ ddiddanwch iddynt hwy.

‡ foddlonrwydd.

13 Ac ar y pechaduriaid y daeth dïaledd, nid heb wyrthiau o'r blaen, trwy egni taranau: o herwydd yr oeddynt hwy yn haeddu dïoddef am eu hanwiredd; o blegid yr oeddynt hwy yn dwyn dygn-gas i ddïeithriaid.

14 Canys *y Sodomiaid* ni dderbynient y rhai nid adwaenent pan ddaethant: eithr y rhai hyn a gaethiwasant y dïeithriaid a wnaethai iddynt hwy ddaioni.

15 Ac nid hynny yn unig, eithr ysgatfydd fe a edrychir peth ar y rhai hynny am iddynt drin dïeithriaid yn anghyweithas.

16 Eithr y rhai hyn wedi eu derbyn hwynt § yn llawen, a gystuddiasant â phoenau aruthrol, y rhai oedd yn awr gyfrannogion o'r un gyfraith.

§ dan wledda.

17 A'r rhai hyn a darawyd â dallineb, fel *y tarawsid* y rhai hynny [c] wrth ddrws y cyfiawn: pan geisiodd pob un y ffordd i'w ddrws ei hun, wedi eu hamgylchu hwy â thywyllwch anferthol.

c Gen. 19. 11.

18 O blegid yr elfennau a newidiwyd o ‖ honynt eu hunain yn gysson, fel y newidia sain cynghanedd mewn psaltring, enw y dôn, er bod y swn yn aros bob amser, megis y gellir ystyried wrth edrych yn graff ar y pethau a wnaed.

‖ ynddynt eu hunain.

19 Canys y pethau daearol a dröed yn bethau o'r dwfr, a phethau nofiadwy a gerddasant ar y ddaear.

20 [d] Y tân oedd nerthol yn y dwfr, wedi gollwng dros gof ei rinwedd ei hun; a'r dwfr a anghofiasai ei naturiaeth i ddiffoddi.

d Pen. 16. 17.

21 Yn y gwrthwyneb, ni wnaeth y fflam nac i gnawd yr anifeiliaid llygradwy, y rhai a rodient ynddo, nac i'r ymborth nefol ddarfod, er ei fod fel [e] iâ tawddadwy o rywogaeth i doddi.

e Exod. 16. 14. Num. 11. 7. Pen. 16. 22.

22 Canys dy bobl a fawrygaist, ac a anrhydeddaist, ym mhob dim, O Arglwydd: ac ni ddïystyraist hwynt; ond bod gyd â hwynt bob amser, ac ym mhob lle.

# ¶ DOETHINEB JESUS MAB SIRACH,

## NEU ECCLESIASTICUS.

### ¶ PROLOG A WNAETH AWDUR ANADNABYDDUS.

YR Jesus hwn oedd fab i Sirach, ac ŵyr i Jesus, o'r un enw ag ef. Y gwr hwn gan hynny oedd fyw yn yr amseroedd diweddaf, gwedi caeth-gludo 'r bobl, a'u galw adref drachefn, ac agos ar ol yr holl brophwydi. Ei daid ef Jesus (fel y mae efe ei hun yn tystiolaethu) oedd wr diwyd iawn, a doeth ym mysg yr Hebreaid, yr hwn nid yn unig a gasglodd ddwys a byrr ymadroddion y gwŷr doethion a fuasai o'i flaen ef, eithr ei hun hefyd a draethodd rai o'r eiddo ei hun, yn llawn o fawr ddealldwriaeth a doethineb. Am hynny pan fu farw yr Jesus cyntaf, a gadael y llyfr hwn wedi ei † orphen agos, Sirach ei fab ef, wedi ei gael ar ei ol ef, a'i gadawodd i'w fab ei hun Jesus, yr hwn wedi ei gael i'w law, a'i cynhuilodd i gŷd yn drefnus yn un ‡ llyfr, ac a'i galwodd Doethineb, gan roddi ei enw ei hun, enw ei dad, a'i daid, yn ditl iddo, gan ddenu y gwrandawr trwy enw Doethineb i roi mwy o serch ar astudio'r llyfr hwn. Y mae efe gan hynny yn cynnwys ymadroddion doethion, sentensiau dïeithr, a damhegion, a rhai hen historiau duwiol prïodol, am wŷr a ryngasai fodd Duw; ei weddi hefyd a'i gân: heb law hynny, pa ddaioni a welsai Duw yn dda *ei wneuthur* i'w bobl, a pha blaau a bentyrrasai efe ar eu gelynion hwy. Yr Jesus yma oedd yn dilyn Salomon, ac nid oedd lai enwog am ddoethineb a dysgeidiaeth; ac yntau yn wir yn wr mawr ei ddysg, ac yn cael ei gyfrif felly.

Rhai sy'n tybied mai Athanasius a wnaeth y prolog yma, am ei fod yn ei *Synopsis* ef.
† *gasglu.*
‡ *rhôl.*

### ¶ PROLOG DOETHINEB JESUS FAB SIRACH.

GAN roddi i ni lawer a mawrion bethau trwy 'r gyfraith a'r prophwydi, ac eraill a'u dilynasant hwy; am ba rai y mae yn rhaid canmol Israel, o herwydd addysg a doethineb; ym mha rai y mae yn rhaid nid yn unig i'r darllenyddion fyned yn ddoethach, eithr hefyd i'r rhai sy'n chwennychu dysgu, fod yn fuddiol i'r rhai oddi allan, trwy draethu ac ysgrifenu hefyd: fy nhaid i Jesus, wedi iddo ymroddi yn fawr i ddarllen y gyfraith a'r prophwydi, ac eraill o lyfrau ein tadau, ac wedi myned yn hyfedr ynddynt hwy, a ddygwyd rhagddo i 'sgrifenu peth ei hun, o'r pethau a berthyn i addysg a doethineb; fel y gallai y rhai sydd awyddus i ddysg, ac wedi ymroddi i'r pethau hyn, gynnyddu yn fwy mewn buchedd, yn ol y gyfraith. Am hynny byddwch, attolwg, yn ewyllysgar ac yn ddyfal i'w ddarllen, a maddeuwch i ni, os nyni wrth gymmeryd poen yn cyfieithu, a welir heb gyrhaeddyd grym rhyw eiriau. O blegid nid yw yr un pethau o'r un grym, pan draether hwynt yn Hebreaeg, a phan dröer hwynt i iaith arall. Ac nid hyn yn unig, eithr pethau eraill, sef y gyfraith, a'r † prophwydi, a'r llyfrau eraill sy iddynt ‡ ragoriaeth nid bychan, pan draether hwynt yn eu hiaith eu hun. O blegid yn y ddeunawfed flwyddyn ar hugain i'r brenhin Energetes, wedi i mi ddyfod i'r Aipht, ac aros yno ennyd, mi a gefais lyfr o addysg nid bychan. Am hynny y tybiais fod yn angenrheidiaf dim gymmeryd peth diwydrwydd a phoen i'w gyfieithu ef. Felly mi a ymroddais trwy fawr anhunedd a chyfarwyddyd yr amser hwnnw i ddwyn y llyfr i ben, ac i'w osod allan er eu mwyn hwythau hefyd, y rhai mewn gwlad ddïeithr ynt yn chwennych dysgu, wedi ymbarottôi o'r blaen yn eu moddau, i fyw yn ol y gyfraith.

† *prophwydoliaethau.*
‡ *odidowgrwydd.*

PEN. I.

Hydref, 23. P. 1 *O Dduw y mae pob doethineb: 10 Ac i'r*
S. Matthias, P. *rhai a'i carant ef y mae efe yn ei rhoi hi.*
*12 Ofn Duw yw llawnder llawer o fendithion. 28 Ofn Duw heb ragrith.*

a 1 Bren. 3. 9. ODDI wrth [a] yr Arglwydd *y daeth* pob
Ynghylch Cyn Crist 200. doethineb, a chyd ag ef y mae hi byth.
2 Pwy a rif dywod y môr, a'r defnau
gwlaw, a dyddiau tragywyddoldeb?
3 Pwy a olrhain allan uchder y nefoedd,
a lled y ddaear, a'r dyfnder, a doethineb?
4 Crëwyd doethineb yn gyntaf o'r cwbl,
a deall synwyr erioed.
5 Ffynnon doethineb yw gair Duw Goruchaf,
a'i ffyrdd hi yw y gorchymynion tragywyddol.
b Esay 40. 13. 6 [[b] I bwy y datguddiwyd gwreiddyn
Doeth. 9. 13. doethineb, a phwy a wybu ei chynghorion
doeth hi?]
Rhuf. 11. 34. 7 I bwy yr eglurwyd gwybodaeth doe-
1 Cor. 2. 16. thineb? a phwy a ddeallodd ei hamryw
ffyrdd hi?
8 Un sydd ddoeth i'w ofni yn fawr, yr
Arglwydd yn eistedd ar ei orseddfainge:
9 Yr Arglwydd a'i crëodd hi, ac a'i gwe-
lodd, ac a'i rhifodd, ac a'i tywalltodd hi ar
ei holl waith.
10 Y mae hi gyd â phob cnawd, yn ol ei
roddiad ef, ac efe a'i rhoddes hi i'r neb a'i
carant ef.
11 Anrhydedd, a gogoniant, a hyfrydwch,
a choron gorfoledd yw ofn yr Arglwydd.
12 Ofn yr Arglwydd sydd ddifyrwch i'r
galon, ac a rydd lawenydd a hyfrydwch a
hir-hoedl.
13 Yn y diwedd da fydd i'r hwn a ofno
yr Arglwydd, ac efe a fendithir yn ei ddydd
diwedd.
14 [c] Dechreu doethineb yw ofni'r Ar- c Psal. 111. 10.
glwydd; † ac efe a grëwyd gyd â'r ffydd- Dihar. 1. 7.
loniaid yn y groth. a 9. 10.
15 Hi a osododd sylfaen tragywyddol gyd † Neu, *a hi.*
â dynion, a [d] chyd â'u hiliogaeth hwynt y
peri hi. d 2 Chron. 20. 21.
16 Ofn yr Arglwydd yw cyflawnder doe-
thineb, ac sydd yn llenwi dynion â'i ffrwyth
hi.
17 Hi a lanwodd eu holl dai hwynt â'i
phethau dymunol, a'u hysguboriau hwynt
â'i chnwd.
18 Coron doethineb yn dwyn allan
ffrwyth heddwch a iachawdwriaeth iachol
yw ofn yr Arglwydd; a dawn Duw yw pob
un o'r ddau: ac y mae hi yn helaethu gorfoledd
i'r rhai a'i carant ef.

19 Doethineb a wlawiodd ddeall, a gwybodaeth synwyr, ac a ddyrchafodd ogoniant y rhai a lynant ynddi.

20 Gwreiddyn doethineb yw ofni 'r Arglwydd, a'i changhennau ydynt hir-hoedl.

21 Ofn yr Arglwydd sydd yn gyrru pechodau ymaith, ac yn troi digofaint ymaith lle y byddo hi yn bresennol.

22 Ni ddichon gwr digllon † gael ei gyfrif yn gyfiawn: o blegid aihrylith ei ddigllonedd a fydd yn dramgwydd iddo.
[† *ddiangc rhag cosbedigaeth.*]

23 Y dioddefgar a ddioddef dros amser; ac wedi hynny y blagura llawenydd iddo ef.

24 Efe a guddia ei eiriau dros amser; a gwefusau llawer a fynegant ei synwyr ef.

25 Yn nhrysorau doethineb y mae damhegion gwybodaeth: eithr ffiaidd yw duwioldeb gan bechadur.

26 Os chwennychi ddoethineb, cadw 'r gorchymynion, a'r Arglwydd a'i rhydd hi i ti.

27 O blegid doethineb ac athrawiaeth yw ofn yr Arglwydd; a boddlon yw ganddo ffydd ac addfwyndra.

28 Nac ‡ ammau ofn yr Arglwydd, pan fyddech mewn angen: ac na ddos atto ef â chalon ddau-ddyblyg.
[‡ *anufuddhâ.*]

29 Na ragrithia o flaen dynion, eithr edrych beth a ddywedych.

30 Na ddyrchafa dydi dy hun, rhag i ti syrthio, a dwyn ammharch i'th enaid dy hun, ac i'r Arglwydd ddatguddio dy holl gyfrinach di, a'th fwrw i lawr ynghanol y gynnulleidfa, am na ddaethost mewn gwirionedd at ofn yr Arglwydd, eithr bod dy galon yn llawn twyll.

## PEN. II.

[Hydref, 24. B. Cennadwri Mair, B.]
1 *Rhaid i weision Duw ddisgwyl am flinderau,* 7 *a bod yn ddioddefgar, ac ymddiried ynddo ef.* 12 *Canys gwae y rhai ni wnelo hynny.* 15 *A'r rhai a ofnant yr Arglwydd a wnant hynny.*

FY mab, [a] os deui i wasanaethu 'r Arglwydd, parottoa dy enaid i brofedigaeth.
[a Mat. 4. 1. 2 Tim. 3. 12. 1 Petr 4. 12.]

2 Uniona dy galon, a dioddef: ac na wna frys yn amser trallod.

3 Glŷn wrtho ef heb ymado, fel y'th gynnydder yn dy ddiwedd.

4 Derbyn yn llawen yr hyn a ddigwyddo; a bydd ymarhous wrth dy gyfnewid i ostyngiad.

5 [b] O blegid aur a brofir yn tân, a dynion cymmeradwy yn ffwrn gostyngiad.
[b Doeth. 3. 6. Dihar. 17. 3.]

6 Creda ynddo ef, ac efe a'th † dderbyn di: uniona dy lwybrau, a gobeithia ynddo ef.
[† *gymmorth.*]

7 Y rhai ydych yn ofni 'r Arglwydd credwch iddo ef, ac ni phalla eich gwobr chwi.

8 Y rhai ydych yn ofni 'r Arglwydd, gobeithiwch am ddaioni, ac am lawenydd tragywyddoldeb a thrugaredd.

9 Y rhai ydych yn ofni 'r Arglwydd, ymarhoswch am ei drugaredd ef, ac na chiliwch, rhag eich syrthio.

10 Edrychwch ar y cenhedlaethau gynt, a gwelwch; [c] pwy a ymddiriedodd i 'r Arglwydd, ac a waradwyddwyd? neu pwy a arhosodd yn ei ofn ef, ac a adawyd? neu pwy a alwodd arno ef, ac yntau yn ei ddiystyru ef?
[c Psal. 37. 25.]

11 O blegid tosturiol, a thrugarog, ymarhous, ac aml o drugaredd, yw 'r Arglwydd: ac y mae efe yn maddeu pechodau, ac yn achub yn amser trallod.

12 Gwae 'r calonnau ofnus, a'r dwylaw llesg, a'r pechadur a gerddo ddau lwybr.

13 Gwae 'r galon lesg: o herwydd nid yw yn credu; am hynny ni amddiffynnir ef.

14 Gwae chwi, y rhai a gollasoch ammynedd: a pha beth a wnewch chwi pan ymwelo 'r Arglwydd â chwi?

15 Y rhai a ofnant yr Arglwydd ni ‡ anghredant ei eiriau ef; [d] a'r rhai a'i carant ef a gadwant ei ffyrdd ef.
[‡ *anufuddhant i'w.* d Ioan 14. 23.]

16 Y rhai a ofnant yr Arglwydd a geisiant yr hyn sydd dda ganddo ef; a'r rhai a'i carant ef a lenwir â'r gyfraith.

17 Y rhai a ofnant yr Arglwydd a barottoant eu calonnau, ac a ostyngant eu heneidiau ger ei fron ef,

18 *Gan ddywedyd*, Syrthiwn yn nwylaw Duw, ac nid yn nwylaw dynion: o herwydd fel y mae ei fawredd ef, felly y mae ei drugaredd ef.

## PEN. III.

[Hydref, 24. P. Cennadwri Mair, P.]
3 *Rhaid i blant anrhydeddu a chymmorth eu tadau a'u mammau.* 21 *Na ddylem ni chwennych cael gwybod pob peth.* 26 *Y cyfrgollir y rhai a wrthodo gerydd.* 30 *Y ceir tâl am elusen.*

FY mhlant, clywch fi eich tad, a gwnewch felly, fel y byddoch gadwedig.

2 O blegid yr Arglwydd a roddes [a] i'r tad anrhydedd ar y plant, ac a sicrhaodd † farn y fam ar y meibion.
[a Exod. 20. 12. Deut. 5. 16. Mat. 15. 4. Mar. 7. 10. Eph. 6. 2. † *awdurdod.*]

3 Yr hwn sydd yn anrhydeddu ei dad sydd yn cael maddeuant am *ei* bechod;

4 A'r hwn sydd yn anrhydeddu ei fam sydd fel un yn casglu trysor.

5 Yr hwn a anrhydeddo ei dad, a gaiff lawenydd o'i blant; ac efe a wrandewir y dydd y gweddïo.

6 Hir-hoedlog fydd yr hwn a anrhydeddo ei dad: a'r hwn a ufuddhao yr Arglwydd a bair ‡ orphwysdra i'w fam.
[‡ *ddiddanuch.*]

7 Yr hwn sydd yn ofni 'r Arglwydd a anrhydedda *ei* dad, ac a wasanaetha y rhai a'i cenhedlasant ef fel ei arglwyddi.

8 [b] Anrhydedda dy dad a'th fam ar weithred a gair, fel y delo i ti fendith § gan ddynion.
[b Adn. 2. § *gandynt hwy.*]

9 O blegid [c] bendith y tad a sicrhâ deiau y plant: ond melldith y fam a ddiwreiddia sylfeini.
[c Gen. 27. 27. Deut. 33. 1]

10 Na ymffrostia yn ammharch dy dad: o herwydd nid parch i ti fydd ammharch dy dad.

11 Canys anrhydedd fydd i ddyn o anrhydedd ei dad: a mam mewn ammharch sydd warth i'r plant.

12 Fy mab, cynnorthwya dy dad yn ei henaint, ac na thrista ef yn ‖ dy fyw.
[‖ *ei.*]

13 Os palla ei synwyr, cyd-ddwg ag ef, ac na ammharcha ef *pan fyddech* yn dy † holl gryfder.
[† *lawn.*]

14 O herwydd nid anghofir dy ‡ drugaredd i'th dad: ac yn lle pechodau fe a'i chwanegir i'th adeiladu di i fynu.
[‡ *amgeledd.*]

15 Yn nydd dy drallod y meddylir am § danat ti: a'th bechodau a doddir, megis *pan ddel* meirioli ar iâ.
[§ *dano ef.*]

16 Megis cablwr yw yr hwn sydd yn gwrthod ei dad; a melldigedig gan Dduw yw yr hwn sydd yn digio ei fam.

17 Fy mab, gorphen dy waith yn llednais, a'r hwn sydd cymmeradwy a'th hoffa di.

18 [d] Po mwyaf fyddech, ymddarostwng yn fwy, a thi a gei ffafr yn ngŵydd yr Arglwydd.
[d Phil. 2. 3.]

19 Y mae llawer yn uchel-radd ac yn anrhydeddus; eithr i'r rhai [e] llednais y datguddir dirgeledigaethau.
[e Psal. 25. 9, 14.]

20 Canys mawr yw gallu'r Arglwydd, a'r rhai gostyngedig a'i hanrhydeddant ef.

f Dihar. 25. 27. Rhuf. 12. 3.
21 f Na chais yn ddisynwyr bethau rhŷ galed i ti, ac na chais yn anghall bethau rhŷ gryfion i ti.

22 Y pethau a orchymynwyd, meddwl am hynny yn sanctaidd; o blegid nid rhaid i ti weled pethau cuddiedig â'th lygaid.

23 Na fydd rŷ fanwl mewn pethau afraid: canys fe ddangoswyd i ti fwy nag a ddichon dynion eu deall.

24 Eu hoter dyb a dwyllodd lawer, a drwg dyb a lesgaodd eu deall hwynt.

25 Oni bydd canhwyllau dy lygaid gennyt, fe fydd eisiau goleuni arnat: ond os bydd eisiau gwybodaeth, na fynega hynny.

26 Drwg fydd ar galon galed yn y diwedd: a'r hwn a hoffa enbydrwydd a ddifethir ynddo.

27 Calon galed a lwythir â phoenau: a'r pechadur a 'chwanega bechodau ar bechodau.

† Na chewch y balch trwy ei gospedigaeth.
28 † Ynghospedigaeth y balch nid oes meddyginiaeth: o herwydd gwreiddio planhigyn drygioni ynddo ef.

29 Calon y deallgar a feddwl am ddammeg, a chlust y gwrandawydd yw dymuniad y doeth.

g Psal. 41. 1, &c. Dan. 4. 27. Mat. 5. 7.
30 g Dwfr a ddiffydd dân yn fflammio, a thrwy elusen y ceir maddeuant am bechodau.

31 A'r Arglwydd, yr hwn sydd yn talu cymmwynasau, sydd gofus erbyn yr amser a ddaw; a'r *cyfryw*, yn amser ei dramgwydd, a gaiff atteg.

## PEN. IV.

Hydref, 25. B. S. Marc, B.

1 *Na ddylid diystyru y tlawd a'r emddifad,* 11 *ond ceisio gwybodaeth;* 20 *ac na bo arnom gywilydd o ryw bethau, ac na ddywedom yn erbyn y gwirionedd,* 30 *ac na bom fel llewod yn ein tai.*

FY mab, na thwylla'r tlawd am ei fywyd, ac na wna i lygaid anghenus hir-ddisgwyl.

2 Na thristâ enaid newynog, ac na wna i wr yn ei eisiau hir-ddisgwyl.

3 Na 'chwanega flinder ar galon gystuddiol, ac na wna i'r anghenog hir-ddisgwyl am ei rodd.

4 Na fwrw ymaith ymbiliwr gorthrymmedig, ac na thro dy wyneb oddi wrth y tlawd.

a Tob. 4. 7. † un yn gofyn.
5 a Na thro dy lygaid oddi wrth yr † anghenus, ac na ddod le i ddyn i'th felldithio di.

6 Canys os efe a'th felldithia di yn chwerwder ei enaid, yr hwn a'i gwnaeth ef a wrendy ei weddi ef.

7 Gwna dy hun yn hawddgar i'r gynnulleidfa, a gostwng dy ben i wr mawr.

8 Gostwng dy glust at y tlawd yn ddidrist, ac atteb ef yn heddychol ac yn llednais.

9 Gwared yr hwn sydd yn cael cam, o law yr hwn fydd yn gwneuthur cam; ac na fydd lwfr pan eisteddych i farnu.

b Job 31. 18. Esay 1. 17. Iago 1. 27.
10 b Bydd i'r amddifad fel tad, ac yn lle gwr i'w mam hwynt; a thi a gei fod megis yn fab i'r Goruchaf; ac efe a'th gâr di yn fwy na'th fam.

11 Doethineb a ddyrchafa ei meibion, ac a dderbyn y rhai a'i ceisiant.

12 Yr hwn sydd yn ei charu hi sydd yn caru einioes; a'r rhai a ddisgwyliant am dani hi yn fore, a lenwir â llawenydd.

13 Yr hwn a'i dalio hi a etifedda ogoniant, a'r Arglwydd a fendithia y lle yr el hi i mewn.

14 Y rhai sydd yn ei gwasanaethu hi sydd yn gwasanaethu'r Sanctaidd; ac y mae'r Arglwydd yn caru'r rhai sydd yn ei charu hi.

15 Yr hwn sydd yn gwrando arni hi a farna genhedloedd; a'r hwn a wrandawo arni hi a breswylia'n ddïogel.

16 Os un a ymddyry iddi, efe a'i caiff hi yn etifeddiaeth; a'i hiliogaeth a gaiff fod mewn meddiant o honi.

17 Canys ar y cyntaf hi a rodia gyd ag ef ar ffyrdd gŵyr-geimion, ac a ddwg ofn ac arswyd arno ef, ac a'i poena ef â'i haddysg, nes gallu o honi ymddiried i'w enaid ef, ac oni phrofo hi ef yn ei chyfiawnderau.

18 Yna hi a ddaw yn uniawn atto ef, ac a'i llawenycha ef, ac a ddatguddia ei dirgelwch iddo ef.

19 Os cyfeiliorna efe, hi a'i gâd ef, ac a'i dyry i fynu i'w gwymp ei hun.

20 Cadw 'r amser cyfaddas, ac ymgadw rhag drygioni; ac na fydded cywilydd gennyt pan berthyno i'th enaid.

21 Canys y mae cywilydd yn dwyn pechod; ac y mae cywilydd yn anrhydedd a gras.

22 Na dderbyn wyneb yn erbyn dy enaid dy hun, ac na pharcha neb i'th ddinystr dy hun.

23 Na attal air ‡ yn amser iachawdwriaeth, ac na chuddia dy ddoethineb yn ei harddwch. ‡ *pan fyddo lle i wneuthur daioni.*

24 O blegid wrth ymadrodd yr adweinir doethineb, ac addysg wrth eiriau'r tafod.

25 Na ddywed yn erbyn y gwirionedd er dim, ond bydded wladaidd gennyt dy anwybodaeth.

26 Na fydded gywilydd gennyt gyfaddef dy bechodau, ac nac ymegnïa yn erbyn y ffrwd.

27 Nac ymddyro i ddyn ffol, ac na dderbyn wyneb y galluog.

28 Ymegnïa gyd â'r gwirionedd hyd farwolaeth; a'r Arglwydd Dduw a ymladd gyd â thithau.

29 Na fydd esgud â'th dafod, a dïog ac araf yn dy weithredoedd.

30 Na fydd megis llew yn dy dŷ, yn curo dy weision wrth dy ffansi.

31 c Na fydded dy law yn agored i gymmeryd, ac yn gauad i § roddi. c Act. 20. 35. § *dalu.*

## PEN. V.

Hydref, 25. P. S. Marc, P.

1 *Na ddylem ni hyderu ar ein golud a'n cryfder,* 6 *nac ar drugaredd Duw, i bechu.* 9 *Na bom ddau-dafodiog,* 12 *ac na attebom heb wybodaeth.*

NA osod dy galon ar dy olud; ac na ddywed, a Y mae gennyf ddigon i fyw. a Luc 12. 15.

2 Na ddilyn dy ewyllys dy hun, a'th gryfder dy hun, i rodio yn ffyrdd dy galon dy hun.

3 Na ddywed, Pwy a'm darostwng i o herwydd fy ngweithredoedd? o blegid yr Arglwydd gan ddïal a ddïal dy draha di.

4 Na ddywed, Mi a bechais, a pha dristwch a fu i mi? o blegid y mae'r Arglwydd yn hir-ymarhous, ni ad efe i ti ddïangc.

5 b Na fydd rŷ ddifraw o herwydd maddeuant, i 'chwanegu pechodau ar bechodau: b Pen. 21. 1.

6 Ac na ddywed, Aml yw ei drugaredd ef, efe a fadden liosowgrwydd fy mhechodau i; o blegid c trugaredd a digofaint a ddaw oddi wrtho ef, a'i ddigofaint ef a orphwys ar bechaduriaid. c Pen. 16. 13.

7 Na fydd hwyrfrydig i droi at yr Arglwydd, ac nac oeda o ddydd i ddydd: o blegid yn ddisymmwth y daw digofaint yr Arglwydd, a thra fyddech di yn ddifraw y'th ddryllir, a thi a ddifethir yn amser dialedd.

d Dihar. 10. 2. a 11. 4. Ezec. 7. 19. — 8 d Na osod dy galon ar olud anghyfiawn, o blegid ni foddiant hwy yn amser cystudd.

† nithia. — 9 Na † ymdro gyd â phob gwynt, ac na ddos ym mhob llwybr: felly *y gwna* y pechadur dau-dafodiog.

10 Bydd ddïanwadal yn dy ddeall sicr, a bydded dy ymadrodd di yn un.

e Iago 1. 19. — 11 e Bydd esgud i wrando pethau da, a bydded dy fywyd mewn gwirionedd, a thraetha atteb uniawn yn ddioddefgar.

12 Od oes deall gennyt, atteb dy gymmydog: ac onid oes, bydded dy law ar dy safn.

f Mat. 12. 37. — 13 f Yn yr ymadrodd *y mae* gogoniant a gwarth; a thafod dyn sydd gwymp iddo.

g Rhuf. 1. 29. — 14 g Na alwer di yn hustingwr, ac na chynllwyn â'th dafod: o blegid i leidr y mae cywilydd blin, a damniad drwg i'r dau-dafodiog.

15 Na fydd ddïwybod o ddim, na mawr na bychan.

## PEN. VI.

Hydref, 26. B. — 2 *Na chanmol dy amcan dy hun: 7 Ond dewis gyfaill. 18 Cais ddoethineb mewn pryd. 20 Y mae doethineb yn flin gan rai, 28 etto y mae e i ffrwyth hi yn brydferth. 35 Bydd barod i wrando y rhai doethion.*

NA fydd elyn yn lle cyfaill: canys *felly* y cei enw drwg, gwarth a gwaradwydd yn etifeddiaeth: felly y caiff y pechadur dau-dafodiog ammharch.

2 Na ymddyrcha ynghyngor dy enaid dy hun, rhag llarpio dy enaid fel tarw.

3 Ti a fwyttei dy ddail, ac a golli dy ffrwyth, ac a'th ollyngi dy hun fel pren crin.

4 Enaid drygionus sydd yn difetha ei berchennog, ac yn ei wneuthur ei hun yn watworgerdd i'w elynion.

a Pen. 20. 13. † ymadrodd melus. — 5 a † Ceg felus sydd yn amlhâu cyfeillion; a thafod ymadroddus sydd yn amlhâu ymadroddion teg.

6 Bydd heddychol â llawer; eithr *bydded* dy gynghorwr un o fil.

‡ prawf ef yn gyntaf. — 7 Os mynni di gael cyfaill, ‡ cais ef mewn profedigaeth, ac nac ymddiried iddo ef ar frys am danat dy hun.

8 Canys y mae cyfaill dros ei amser ei hun, ac nid erys yn nydd dy drallod di.

9 Ac y mae cyfaill a dry yn elyn ac yn gecrus, ac a ddatguddia dy waradwydd di.

b Pen. 37. 6. — 10 b Ac y mae cyfaill a fydd cyfrannog o'r bwrdd; eithr yn nydd dy drallod di nid erys efe.

11 Ac yn dy fyd da efe a fydd fel tithau, ac efe a fydd hŷf ar dylwyth dy dŷ di.

12 Os darostyngir di, efe a fydd i'th erbyn di, ac a ymguddia o'th wydd di.

13 Ymneilldua oddi wrth dy elynion, a gochel dy gyfeillion.

14 Amddiffyn cadarn yw cyfaill ffyddlon; a'r hwn a gafodd y cyfryw a gafodd drysor.

15 Nid oes dim a gystadla gyfaill ffyddlon, ac nid oes a gyd-bwysa ei degwch ef.

16 Eli einioes yw cyfaill ffyddlon; a'r rhai sy'n ofni'r Arglwydd a'i cânt ef.

17 Yr hwn sydd yn ofni'r Arglwydd sydd yn cyfarwyddo ei gyfeillach yn uniawn: canys fel y byddo efe, y bydd ei gymmydog hefyd.

18 Fy mab, casgl addysg o'th ieuengctid, a thi a gei ddoethineb hyd henaint.

19 Tyred atti fel un yn aredig ac yn hau, ymaros hefyd am ei ffrwythau daionus hi: o blegid ychydig boen a gymmeri di yn ei gwaith hi, a buan y bwyttei di o'i chnwd hi.

§ diddeall. — 20 Y mae hi yn chwerw iawn i'r annysgedig: a'r § digalon nid erys gyd â hi.

c Zech. 12. 3. — 21 Megis c maen prawf cryf y bydd hi arno ef, ac nid oeda efe ei bwrw hi ymaith.

22 O blegid y mae doethineb yn ol ei henw, ac nid yw hi amlwg i lawer.

23 Gwrando, fy mab, derbyn fy marn i, ac na wrthod fy nghyngor i.

24 Dyro dy draed yn ei llyffetheiriau hi, a'th wddf yn ei chadwyn hi.

d Mat. 11. 29. ‖ na fydded flin gennyt ei. — 25 d Gostwng dy ysgwydd, a dwg hi, ac ‖ na fydd elyn i'w rhwymau hi.

26 Tyred atti hi â'th holl enaid, a chadw ei ffyrdd hi â'th holl allu.

27 Olrhain, a chais, a thi a gei ei hadnabod hi; a phan gaffech afael arni, na ollwng hi ymaith.

28 O blegid o'r diwedd ti a gei ei gorphwysdra hi; a *hynny* a drŷ yn llawenydd i ti.

29 A'i llyffetheiriau hi a fydd i ti yn amddiffyn cadarn, a'i chadwynau yn wisg ogoneddus.

† bleth o sidan glas. Num. 15. 38. — 30 O herwydd y mae arni hi wŷchder euraid, a'i rhwymau sydd † ysnoden borphor.

31 Fel gwisg ogoneddus y gwisgi di hi; ac fel coron orfoleddus y gosodi di hi am danat.

32 Os mynni, *fy* mab, ti a fyddi ddysgedig; ac o's rhoddi dy feddwl, ti a fyddi gall.

33 Os ceri wrando, ti a dderbyni ddeall; ac os gostyngi dy glust, ti a fyddi doeth.

e Pen. 8. 9. — 34 Saf ym mysg e henuriaid; a'r neb a fyddo doeth, glŷn wrtho ef.

35 Myn glywed pob traethawd duwiol, ac na ddïanged diarebion deallus oddi gennyt ti.

36 Os gweli wr deallgar, cyfod yn fore atto ef: a threulied dy droed di riniogau ei ddrws ef.

f Psal. 1. 2, 3. — 37 Meddwl am orchymynion yr Arglwydd yn berffaith; a f myfyria ar ei orchymynion ef bob amser: efe a sicrhâ dy galon di, a doethineb a roddir i ti wrth dy ddymuniad.

## PEN. VII.

Hydref, 26. P. S. Phylip a Iago, B. — 1 *Annog i ochel pechod, 4 a cheisio anrhydedd, 8 a rhyfyg, 10 a diffygio mewn gweddi, 12 a chelwydd ac enllib. 18 Pa gyfrif a wnaun o gydymmaith cywir, 19 ac o wraig dda, 20 ac o was, 22 ac o'n hanifeiliaid, 23 ac o'n plant, ac o'n rhïeni, 31 o'r Arglwydd a'i Offeiriaid, 32 o'r tlawd a'r galarus.*

NA wna ddrwg: ac ni oddiwes drwg dydi.

2 Ymado oddi wrth yr anghyfiawn, ac fe a gilia pechod oddi wrthyt ti.

a Job 4. 8. Dihar. 22. 8. — 3 Fy mab, a na haua ym mysg cwysau anghyfiawnder, rhag i ti eu medi yn saith-ddyblyg.

b Job 9. 20. Psal. 143. 2. Preg. 7. 16. Luc 18. 11. — 4 Na chais gan yr Arglwydd lywodraeth, na chadair gogoniant gan y brenhin.

5 b Nac ymgyfiawnhâ ger bron yr Arglwydd, ac na chymmer arnat fod yn ddoeth yngŵydd y brenhin.

6 Na chais fod yn farnwr, rhag na allech dynnu anghyfiawnder ymaith; rhag un amser i ti ofni rhag y cadarn, a gosod o honot dramgwydd ar ffordd dy uniondeb.

7 Na phecha yn erbyn torf dinas, ac † nac ymwthia i dyrfa.

† *na'th fwrw dy hun i lawr ym mysg y bobl.*

8 Na ymrwym â phechod ddwywaith: o herwydd ni byddi ddigerydd am un.

9 Na ddywed, Duw a edrych ar liosowgrwydd fy rhoddion i; a phan offrymmwyf i'r Goruchaf Dduw, efe a'i derbyn.

10 Na fydd egwan dy galon yn dy weddi, ac nac esgeulusa wneuthur elusen.

11 Na watwar y dŷn a fyddo yn chwerwder ei enaid: o herwydd [c] y mae gostyngydd a dyrchafydd.

c 1 Sam. 2. 7.

12 Na ‡ ddychymmyg gelwydd ar dy frawd; ac na wna y fath beth i'th gyfaill.

‡ Gr. *ardd.*

13 Na fyn ddywedyd dim celwydd: o herwydd ni ddaw mynych ymarfer o hono ef i ddaioni.

14 Na fydd siaradus ym mysg lliaws o henuriaid, ac [d] nac ofer-ail-draetha dy ymadrodd yn dy weddi.

d Mat. 6. 5, 7.

15 Na chasâ waith poenus, nac hwsmonaeth, yr hon a greodd y Goruchaf.

16 Na chyfrif di dy hun ym mysg pechaduriaid, eithr cofia nad oeda digofaint.

17 Darostwng dy enaid yn ddirfawr: canys dïaledd yr annuwiol fydd tân a phryf.

18 Na newidia gyfaill am ddim cyffredinol; na'th frawd ffyddlon am aur Ophir.

19 Nac ymado â gwraig ddoeth dda: canys gwell yw ei gras hi nag aur.

20 [e] Na fydd ddrwg wrth weinidog a fyddo yn gweithio mewn gwirionedd, na'r gwas cyflog sydd yn ei roddi ei hunan i ti yn hollol.

e Lef. 19. 13. Pen. 33. 30. a 34. 22.

21 Cared dy enaid di weinidog synhwyrol, ac na thwylla ef am ei ryddid.

22 [f] Os anifeiliaid sy gennyt, edrych arnynt: ac os buddiol ydynt i ti, cadw hwynt gyd â thi.

f Deut. 25. 4. Dihar. 27. 23, &c.

23 Od oes i ti blant, dysg hwynt, a gostwng eu gyddfau hwy o'u hieuengctid.

24 Od oes ferched i ti, gwylia eu cyrph hwynt, ac na ddangos dy wyneb yn llawen wrthynt hwy.

25 Dod dy ferch yn brïod, a thi a fyddi wedi gwneuthur gwaith mawr: eithr dod hi i wr synhwyrol.

26 Oes i ti wraig wrth dy feddwl? na fwrw hi ymaith, ac na ddod ti dy hun i *un* atcas.

27 [g] Anrhydedda dy dad â'th holl galon, ac nac anghofia ofidiau dy fam.

g Tobit 4. 3. Pen. 3. 2, &c.

28 Cofia mai trwyddynt hwy y'th anwyd di; a pha beth a deli di iddynt hwy o'r fath *a wnaethant* hwy i ti?

29 Ofna'r Arglwydd â'th holl enaid, a pharcha ei Offeiriaid ef.

30 Câr yr hwn a'th wnaeth â'th holl nerth, ac na ad ei weinidogion ef.

31 Ofna'r Arglwydd, ac anrhydedda'r Offeiriad: a dod iddo ef ran, [h] fel y gorchymynwyd i ti; y blaen-ffrwyth, a'r *aberth* dros gamwedd, a rhodd y palfeisiau ac aberth y cyssegriad, a blaen-ffrwyth y pethau sanctaidd.

h Lef. 2. 3, 10. a 6. 16. a 7. 7, 9, 34. Num. 5. 9. a 18. 8, 15.

32 [i] Estyn hefyd dy law i'r tlawd, fel y perffeithier dy § fendith di.

i Deut. 15. 10.

§ *haelioni.*

33 Y mae cymmeriad i rodd yngolwg pob un byw, ac na attal gymmwynas i'r marw.

34 [k] Na phalla fod gyd â'r wylofus: a galara gyd â'r galarus.

k Rhuf. 12. 15.

35 [l] Na fydd ddïog i ofwyo'r claf: canys trwy'r cyfryw bethau y'th gerir di.

l Mat. 25. 36, 39, 43.

36 Yn dy holl ‖ eiriau meddwl am † dy ddiwedd, ac ni phechi di byth.

‖ *weithredoedd.*

† *y diwedd.*

## PEN. VIII.

1 *A phwy ni ddylem ni ymryson,* 8 *na'i ddiystyru,* 10 *na'i cyffroi,* 15 *na bod i ni a wnelom â hwynt.* Hydref, 26. B.

NAC ymryson â gwr cadarn, rhag syrthio o honot ti yn ei law ef.

2 [a] Nac ymgynhenna â gwr cyfoethog, rhag iddo roddi pwys i'th erbyn di: o blegid aur [b] a ddifethodd lawer, ac a wyrodd galonnau brenhinoedd.

a Mat. 5. 25.

b Pen. 31. 6.

3 Nac ymgynhenna â gwr † siaradus, ac na phentyrra goed ar ei dân ef.

† *o dafod drwg.*

4 Na chellwair â'r annysgedig, rhag ammherchi dy hynafiaid di.

5 [c] Na ddannod i'r dŷn a drodd oddi wrth bechod; cofia ein bod ni oll dan gerydd.

c 2 Cor. 2. 6. Gal. 6. 2.

6 [d] Nac ammharcha ddyn yn ei henaint: canys y mae rhai o honom ninnau yn heneiddio.

d Lef. 19. 32.

7 Na lawenycha am farw yr hwn sydd fwyaf gelyn i ti: cofia ein bod ni oll yn marw.

8 Na ddïystyra draethawd y doethion; eithr ymarfer di â'u diarebion hwynt: o blegid ganddynt hwy y dysgi di addysg, a gwasanaethu pendefigion yn hawdd.

9 [e] Nac ymado â thraethiad henuriaid: o blegid hwynt-hwy a ddysgasant gan eu tadau; canys ganddynt hwy y dysgi di ddeall, a rhoddi atteb ‡ pan fyddo rhaid.

e Pen. 6. 34.

‡ *fel y byddo.*

10 Na chynneu farwor pechadur, rhag dy losgi yn fflam ei dân ef.

11 Na chyfod *mewn dig* o flaen y trahaus, rhag iddo eistedd fel un yn cynllwyn § yn erbyn dy enau di.

§ *i'th faglu yn dy eiriau.*

12 Nac echwyna i ddyn cryfach nâ thi: ac os echwyni, ‖ bydd fel un wedi colli.

‖ *cyfrif ef yn golled.*

13 Na fachnia am fwy nag a allech: ac os machnii, meddwl am dalu.

14 Nac ymgyfreithia ag † Iustus, o blegid wrth ei ‡ feddwl ef y barnant hwy iddo ef.

† *Ynad.*

‡ *anrhydedd.*

15 [f] Na ddos ar hŷd y ffordd gyd ag un hŷ, rhag iddo fod yn drwm wrthyt ti: o blegid wrth ei ewyllys ei hun y gwna efe, a thrwy ei anghallineb ef y derfydd am danat tithau gyd ag ef.

f Gen. 4. 8.

16 [g] Na wna gynnen â'r digllon, ac na ddos gyd ag ef i anialwch: fel diddym yw gwaed yn ei olwg ef; ac efe a'th gwympa di yno lle nid oes help.

g Dihar. 22. 24.

17 Nac ymgynghora â'r ffol: o herwydd ni fedr efe gelu gair.

18 Na wna beth cyfrinachol o flaen y dïeithr: o blegid ni wyddost ti beth a esgyr efe.

19 Na amlyga dy galon i bob dŷn, rhag iddo roddi gau ddïolch i ti.

## PEN. IX.

1 *Pa fodd y mae i ni ymddwyn tu ag at ein gwragedd.* 3 *Pa wragedd sydd i'w gochel.* 10 *Na newidier yr hen gydymmaith.* 13 *Na fyddom rhŷ hŷ ar wŷr o awdurdod;* 14 *ond adnabod ein cymmydogion,* 15 *ac ymgyfeillach â'r doethion.* Hydref, 27. P. S. Phylip a Iago, P.

NA ddàl eiddigedd wrth wraig dy fynwes, ac na ddysg iddi addysg ddrwg yn dy erbyn dy hun.

2 Na ddod dy hunan i wraig, i fyned o honi yn uwch nâ thi.

3 [a] Na ddos i gyfarfod â gwraig butteinig, rhag i ti un amser syrthio yn ei maglau hi.

a Dihar. 7. 5, &c.

4 Na fydd yn fynych gyd â cherddores, rhag dy ddàl di trwy ei chelfyddyd hi.

5 Na chraffa ar forwyn, rhag dy dramgwyddo trwy'r pethau sydd werthfawr ynddi.

6 Na ddod dy enaid i butteiniaid, rhag colli o honot dy etifeddiaeth.

7 Nac edrych o amgylch mewn heolydd dinas, ac na wibia yn ei hanghyfannedd-leoedd hi.

b Gen. 34. 2. Barn. 16. 1. 2 Sam. 11. 2. Jud. 10. 19. Mat. 5. 28. 8 b Tro dy olwg oddi wrth wraig brydweddol, ac na ystyr degwch arall: o blegid llawer trwy degwch gwraig a gyfeiliornasant, a thrwy hyn y cynneu cariad fel tân.

9 Na eistedd ddim gyd â gwraig a gwr iddi, ac na eistedd ddim â hi yn dy freichiau, ac na chyd-ildia â hi mewn gwin, rhag pwyso o'th feddwl atti hi, a llithro o honot trwy dy chwant i ddistryw.

10 Na ad hen gyfaill: o blegid nid yw un newydd gystal ag ef. Megis gwin newydd yw cyfaill newydd; os heneiddia efe, ti a'i hyfi yn llawen.

c Psal. 37. 1. 11 c Na chynfigenna wrth ogoniant pechadur: o blegid ni wyddost ti pa ddiwedd fydd iddo ef.

12 Na fydded hoff gennyt yr hyn sydd hoff gan y rhai annuwiol: eithr cofia nad ânt hwy yn ddigerydd i'r bedd.

13 Ymgadw ym mhell oddi wrth wr ac awdurdod iddo i ladd, fel nad amheuech di ofn angau: ac os deui di atto *ef*, na wna fai, rhag iddo yn ebrwydd ddwyn ymaith dy einioes di. Gwybydd mai yn mysg maglau yr ydwyt ti yn trammwy, ac mai ar binaclau 'r ddinas yr ydwyt ti yn rhodio.

14 Bwrw yr amcan goreu y gallech am dy gymmydog, ac ymgynghora â'r doethion.

15 Bydded dy ymresymmiad di â'r synhwyrol, a'th holl ymddiddan ynghyfraith y Goruchaf.

16 Bydded gwŷr cyfiawn yn cyd-wledda â thi, a bydded dy orfoledd di yn ofn yr Arglwydd.

17 Trwy law y gweithiwr y canmolir gwaith, a doeth dywysog pobl yn ei ymadrodd.

18 Ofnadwy yn ei ddinas yw gwr siaradus, a'r rhŷ brysur yn ei ymadrodd a gasëir.

## PEN. X.

Hydref, 29. B. S. Barnabas, B. 1 *Pa les a wna llywodraethwr doeth:* 4 *Mai Duw sy'n eu codi hwy.* 7 *Mor niweidiol yw balchder, ac anghyfiawnder, a chybydd-dod.* 14 *Beth a wnaeth Duw i'r beilchion.* 19 *Pwy 'n ddaw i anrhydedd,* 29 *a phwy ni's daw.*

BARNWR doeth a ddysg ei bobl, a thywysogaeth y synhwyrol a drefnir yn dda.

a Dihar. 29. 12. 2 a Fel y byddo barnwr y bobl y bydd ei swyddogion ef, ac fel y byddo tywysog dinas y bydd y rhai oll sydd yn preswylio ynddi.

3 Brenhin annoeth a ddifetha ei bobl; a thrwy synwyr y pennaethiaid y cyfanneddir y ddinas.

4 Yn llaw 'r Arglwydd y mae meddiant y ddaear: ac efe a gyfyd un buddiol mewn pryd arni.

5 Yn llaw 'r Arglwydd y mae llwyddiant gwr: ac ar wyneb ysgrifenydd efe a osyd ei anrhydedd.

b Lefit. 19. 17. 6 b Na ddwg gas i'th gymmydog am bob cam, ac na wna ddim mewn gweithredoedd trahäus.

7 Cas ger bron yr Arglwydd a dynion yw balchder: ac amryfusedd anghyfiawn *a fwrir* oddi wrth y ddau.

8 Brenhiniaeth a symmudir o'r naill genedl i'r llall o achos anghyfiawnder, a thraha, a chyfoeth trwy dwyll.

9 Paham y mae pridd a lludw yn falch? Nid oes dim anwirach nâ'r cybydd: o blegid y mae 'r cyfryw yn rhoddi ei enaid ei hun ar werth; o herwydd ei ymysgaroedd a fwrw ef allan yn ei fywyd.

10 † Meddyg a dyrr ymaith hir-glefyd: a'r hwn sydd frenhin heddyw, a fydd marw y foru. † *Phyygwr.*

11 Canys pan fyddo marw dŷn, efe a gaiff c ymlusgiaid, a bwystfilod, a phryfed, yn etifeddiaeth. c Esay 14. 11.

12 Dechreuad balchder yw myned o un oddi wrth Dduw, ac ymado o'i galon ef oddi wrth yr hwn a'i gwnaeth.

13 Canys dechreuad pechod yw balchder, a'r hwn sydd yn ei ddàl ef a wna ffieidd-dra yn drahaus. Am hynny y dug yr Arglwydd arnynt hwy gospedigaeth ryfedd, ac y llwyr-ddinystriodd hwynt.

14 d Yr Arglwydd a fwriodd i lawr orsedd-feingciau tywysogion beilchion, ac a wnaeth i'r rhai llednais eistedd yn eu lle hwynt. d 1 Sam. 2. 8. Luc 1. 52.

15 Yr Arglwydd a dynnodd ymaith wraidd y rhai beilchion, ac a blannodd y rhai gostyngedig yn eu lle hwynt mewn gogoniant.

16 Yr Arglwydd a ddinystriodd wledydd y cenhedloedd, ac a'u difethodd hwynt hyd sylfeini 'r ddaear.

17 Efe a dynnodd *rai* o honynt ymaith, ac a'u difethodd hwynt, ac a wnaeth i'w coffadwriaeth ddarfod oddi ar y ddaear.

18 Ni chrewyd balchder i ddynion, na digter llidiog i blant gwragedd.

19 Had diogel yw y rhai sy'n ofni 'r Arglwydd; a phlanhigyn gwerthfawr yw y rhai sy'n ei garu ef: had ammharchus yw y rhai nid ystyriant y gyfraith; had ‡ cyfeiliornus yw y rhai a droseddant y gorchymynion. ‡ *crwydrus.*

20 Parchedig ym mysg brodyr yw eu tywysog; felly y mae y rhai sy'n ofni 'r Arglwydd yn ei olwg yntau.

21 Ofn yr Arglwydd sydd yn myned o flaen § awdurdod: eithr dinystr tywysogaeth yw creulondeb a balchder. § *tywysogaeth.*

22 Ofn yr Arglwydd sydd ogoniant i'r cyfoethog, i'r anrhydeddus, ac i'r tlawd.

23 Nid cyfiawn yw ammherchi tlawd synhwyrol; ac nid gweddus anrhydeddu gwr pechadurus.

24 Pendefigion, a barnwŷr, a chedyrn, a anrhydeddir, ac nid mwy neb o honynt nâ'r hwn sydd yn ofni 'r Arglwydd.

25 e Rhai rhyddion a wasanaethant was synhwyrol: a gwr doeth f ni rwgnach pan y cerydder ef. e Dihar. 17. 2. f 2 Sam. 12. 13.

26 Na chymmer arnat fod yn ddoeth wrth wneuthur dy waith, ac na chais anrhydedd tra fyddech mewn ing.

27 O blegid g gwell yw yr hwn sydd yn gweithio, ac mewn amldra o bob peth nâ'r hwn sydd yn ymffrostio, ac arno eisiau bara. g Dihar. 12. 9.

28 Fy mab, anrhydedda dy enaid yn llednais, a dod iddo yr anrhydedd a haeddai.

29 Pwy a gyfiawnhâ yr hwn a becho yn erbyn ei enaid ei hun? a phwy a barcha yr hwn a ammharcho ei fywyd ei hun?

30 Y mae tlawd mewn parch o herwydd ei wybodaeth; ac y mae cyfoethog mewn parch o herwydd ei gyfoeth.

31 Yr hwn sydd barchedig mewn tlodi, pa faint mwy mewn cyfoeth? a'r hwn sydd ammharchedig mewn cyfoeth, pa faint mwy mewn tlodi?

PEN. XI.

Hydref, 29. P. 4 *Na ddylem ni ein bostio ein hunain.* 8 *Nac atteb mewn byrbwyll,* 10 *nac ymyrryd â llawer o fatterion.* 14 *Oddi wrth Dduw y mae golud, a phob peth arall.* 24 *Nac ymffrostia o'th gyfoeth,* 29 *ac na ddwg bawb i'th dŷ.*

† *yr isel ei radd.* a Gen. 41. 40. Dan. 6. 3.
DOETHINEB y † gostyngedig a ddyrchaif ei ben ef, ac a a'i gesyd ef ym mysg pendefigion.
2 Na chanmol wr wrth ei bryd, ac na ffieiddia ef wrth yr olwg arno.
3 Bechan ym mysg yr ehediaid yw'r wenynen, a phen melysdra yw ei ffrwyth hi.
b Act. 12. 21. 4 b Na orfoledda o herwydd gwisg o ddillad, ac na ymddyrcha yn amser anrhydedd: o blegid rhyfedd yw gweithredoedd yr Arglwydd, a'i weithredoedd ef ydynt ddirgel i ddynion.
‡ *o frenhinoedd.* 5 Llawer ‡ teyrn a eisteddodd ar lawr; a'r hwn ni thybiai un, a wisgodd y goron.
c 1 Sam. 15. 28. Esth. 6. 10. 6 c Llawer cadarn a ammharchwyd yn ddirfawr; a'r anrhydeddus a roddwyd i ddwylaw eraill.
d Deut. 13. 14. a 17. 6, 7. 7 d Nac achwyn cyn chwilio'r *gwirionedd:* myn wybod yn gyntaf, ac yna beia.
e Dihar. 18. 13. 8 e Na farna cyn clywed; ac na fwrw air ym mysg ymadroddion *rhai eraill.*
9 Nac ymryson am y peth nid *yw yn perthyn* i ti; ac na § chyd-eistedd ym marn pechaduriaid. § *nac eistedd mewn barn gyd â phechaduriaid.*
10 Fy mab, na ymyrr ar lawer o bethau: o herwydd os trini lawer peth, ni byddi difai: os dilyni, ni oddiweddi; ac os ffoi, ni ddïengi.
f Dihar. 10. 3. Mat. 19. 22. 1 Tim. 6. 9. 11 f Y mae a lafuria, ac a boena, ac a frysia, ac o hynny y mae yn fwy ei eisiau ef.
12 Y mae *un* anniben, ac arno eisiau help, yn fychan ei nerth, ac yn fawr ei dlodi; a
g Job 42. 10. g golwg yr Arglwydd a edrychodd arno ef er daioni, ac a'i dyrchafodd ef o'i waelder;
13 Ac efe a ddyrchafodd ei ben ef o drueni; a llawer pan welsant, a fu ryfedd ganddynt o'i blegid ef.
h Job 1. 21. Ezec. 28. 4, &c. 14 h Da a drwg, einioes ac angau, tlodi a chyfoeth, oddi wrth yr Arglwydd y maent.
15 Oddi wrth yr Arglwydd y mae doethineb, a chyfarwyddyd, a gwybodaeth ei gyfraith ef: oddi wrtho ef y mae cariad, a ffyrdd gweithredoedd da.
16 Cyfeiliorni a thywyllwch a gydgrewyd â phechaduriaid: a drygioni a heneiddia yn y rhai sy'n gorfoleddu mewn drygioni.
17 Rhodd yr Arglwydd a erys gyd â'r duwiol, a'i ewyllys da ef a bair ffynnu byth.
18 Y mae *dŷn* yn cyfoethogi trwy ei gallineb a'i grintachrwydd, a dyna ei ran ef o'i gyflog.
i Luc 12. 19. 19 Lle y dywed ef, i Mi a gefais esmwythdra, ac yn awr mi a fwyttaf o'm dâ bob amser; ac etto ni's gŵyr efe pa amser a || â heibio iddo ef; ac k y gedy efe hwynt i arall, ac y bydd efe marw. || *ddaw arno.* k Pen. 14. 4.
l Mat. 10. 22. 20 l Saf di yn dy gyfammod, † ac ymddiddan yn hwnnw, a heneiddia yn dy waith. † *a bydd beunydd.*
21 Na fydded rhyfedd gennyt am waith pechadur; creda i'r Arglwydd, ac aros yn dy boen: o blegid hawdd yw yngolwg yr Arglwydd, yn ddisymmwth ddïattreg gyfoethogi'r tlawd.
22 Bendith yr Arglwydd sydd gyflog i'r duwiol, ac mewn awr fuan y gwna efe i'w fendith ef darddu.
23 Na ddywed, m Pa les i mi ryngu bodd? a pha ddaioni sydd i mi bellach? m Mal. 3. 14.
24 Na ddywed, Y mae gennyf fi ddigon, ac y mae gennyf lawer, a pha niweid a gaf fi yn *fy* mywyd bellach?
25 Yn amser daioni yr ydys yn gollwng drygfyd dros gof; ac yn amser drygfyd nid ydys yn coffâu daioni:
26 Am fod yn hawdd o flaen yr Arglwydd dalu i ddyn yn ei ddydd diwedd yn ol ei weithredoedd.
27 Cystudd awr a wna anghofio danteithion; a diwedd dŷn a ddatguddia ei weithredoedd ef.
28 Na chyfrif neb yn ddedwydd cyn ei farw; ac wrth ei blant yr adweinir gwr.
29 Na ddwg bob dŷn i'th dŷ: o herwydd aml yw cynllwyn ‡ diafol. ‡ *y twyllodrus.*
30 Fel petris wedi ei dâl mewn rhwyd, felly y mae calon y balch: ac fel gwyliedydd yn § dringo i le y caffo efe gwymp. § *disgwyl am dy gwymp.*
31 O blegid y mae efe yn cynllwyn, gan droi y da yn ddrwg, ac efe a fwrw fai arnat mewn pethau canmoladwy.
32 O wreichionen fechan y daw llawer o farwor; a dŷn pechadurus a gynllwyn am waed.
33 Gochel ddrygddyn; o blegid drygioni y mae efe yn ei lunio: rhag iddo roddi arnat ti anaf byth.
34 Derbyn ddïeithr-ddyn i dŷ, ac efe a'th dralloda di, ac a'th yrr di o'r eiddot dy hun.

PEN. XII.

2 *Na fydd hael i'r annuwiol.* 10 *Nac ymddiried i'th elyn, nac i'r annuwiol.* Hydref, 30. B. S. Barnabas, P.

OS gwnai ddaioni, gwybydd i bwy y gwnelych, ac fe fydd diolch i ti am dy ddaioni.
2 Gwna ddaioni i'r duwiol, a thi a gai dâl; oni chai ganddo ef, ti a'i cai gan y Goruchaf.
3 Ni bydd daioni i'r hwn a ymgynnefino â drygioni, nac i'r hwn nid ymedy ag elusen.
4 Dod i'r duwiol, ac na † dderbyn bechadur. † *chymmorthwya.*
5 Gwna ddaioni i'r gostyngedig, ac na ddod i'r annuwiol: attal dy fara, ac na ddod iddo ef; rhag trwy hynny iddo ef dy orthrymmu di. O blegid am yr holl ddaioni a wnelych di iddo ef, ‡ efe a gaiff ddau cymmaint o ddrygioni i tithau. ‡ *ti a gai ddau cymmaint o ddrwg.*
6 O herwydd cas gan y Goruchaf bechaduriaid, ac efe a ddial § y rhai duwiol, ac a'u ceidw || hwythau i gadarn ddydd eu dialedd. § *ar y rhai annuwiol.* || *hwy it.*
7 Dod i'r daionus, ac na † dderbyn bechadur. † *chymmorthwya.*
8 Nid adwaenir cyfaill mewn gwynfyd, ac ni lecha gelyn mewn drygfyd.
9 Mewn gwynfyd gwr *y bydd* ei elynion ef yn drist; ac yn ei ddrygfyd yr ymneillдua cyfaill hefyd.
10 Nac ymddiried i'th elyn byth: o blegid fel y rhyda ‡ pres, felly *y gwna* ei ddrygioni yntau. ‡ *haiarn.*
11 Er ymostwng o hono, ac ymgrymmu, gwylia ar dy enaid, ac ymgadw rhagddo ef; a thi a fyddi iddo ef fel un yn sychu drych, a thi a gai wybod na sychodd efe ei rwd yn llwyr.

12 Na osod ef yn agos attat, rhag iddo dy ddinystrio di, a sefyll yn dy le di: na osod ef ar dy law ddehau, rhag iddo geisio cael dy gadair di, ac o'r diwedd cael o honot wybod fy ngeiriau i, a'th bigo â'm hymadroddion i.

13 Pwy a dosturiai wrth y swynwr a frathai neidr, nac wrth y neb a ddelai yn agos at fwystfilod?

14 Felly wrth yr hwn a ddaw at bechadur, ac a gyd-lygrer yn ei bechodau ef, pwy a dosturia wrtho?

† Dros amser. 15 † Un awr yr erys efe mewn sefyllfod iawn; ond os gogwyddi di, ni erys efe.

16 Melus fydd gelyn yn ei wefusau, ac yn ei galon efe a ymgynghora am dy droi di i'r
a Jer. 41. 6. ffos: efe a [a] wyla â'i lygaid; ond os caiff efe amser cyfaddas, ni chaiff efe ei ddigon o waed.

17 Os drygfyd a ddigwydd i ti, ti a'i cai ef yno yn gyntaf; ac fel dŷn yn helpio efe a'th ddisodla di.

18 Efe a ysgwyd ei ben, ac a gur â'i ddwylaw, ac a siarad lawer, ac a newidia ei wynebpryd.

## PEN. XIII.

Hydref, 30. P. 1 *Na fydd gydymmaith i'r balch, nac i un cadarnach, nâ thi dy hun. 15 Pob cyffelyb a ymgais. 22 Y rhagor sy rhwng y cyfoethog a'r tlawd. 25 Ni chel grudd gystudd calon.*

a Deut. 7. 2. YR hwn a gyffyrddo â phyg, a halogir ganddo; [a] a'r hwn a fyddo gyfrannog â'r balch, a fydd debyg iddo.

2 Na chyfod faich rhŷ drwm i ti yn dy fywyd; ac na fydd gyfrannog ag un cryfach a chyfoethoccach nâ thi: canys pa gyfrannu a wna 'r crochan pridd â'r pair? hwn a dery, a hwnnw a dyrr.

† *Y cyfoethog a wna gam, ac etto a fygwth hefyd; y tlawd a gaiff gam, a rhaid iddo ymbil hefyd.* 3 † Os y cyfoethog a wna gam, yna'r ymbilir ag ef; os tlawd a wna gam, yna y bygythir ef.

4 Os buddiol fyddi di, efe a gymmer dy waith di; ac os bydd eisiau arnat, efe a'th gystuddia di.

5 Os bydd peth gennyt, efe a fydd byw gyd â thi, ac a'th dloda di, ac ni bydd gwaeth ganddo ef.

6 Os bydd arno dy eisiau di, efe a'th dwylla di, ac a chwardd arnat ti, ac a rydd i ti obaith: efe a ddywed yn dêg wrthyt ti, ac a ddywed, Beth sydd arnat ti ei eisiau?

7 Efe a'th gywilyddia di â'i fwyd, nes iddo dy ddyhyspyddu di ddwywaith neu dair, ac yn y diwedd efe a'th watwar di: wedi hynny, pan y'th welo, efe a'th ad di, ac a ysgwyd ei ben arnat.

‡ *ynfydrwydd.* 8 Gochel dy dwyllo yn dy feddwl, ac na'th ddarostynger ‡ yn llawenydd dy galon.

9 Pan y'th wahoddo gwr galluog, cilia ymaith; ac efe a'th wahawdd yn fwy o hynny.

10 NA phwysa arno, rhag dy yrru allan yn ddifarn; ac na saf ym mhell, rhag dy ollwng dros gof.

11 Nac ymgystadla ag ef mewn ymadrodd, ac nac ymddiried i'w aml eiriau ef: o blegid trwy ymadrodd lawer y prawf efe
§ *yn gwenu arnat.* dydi, ac megis § dan chwerthin y cais efe dy gyfrinach di.

‖ *can gadw dy eiriau di.* 12 Anhrugarog yw, ‖ heb gadw *ei* eiriau, ac ni arbed efe dy ddrygu a'th garcharu di.

13 Disgwyl, ac edrych yn fanwl am wrando: o herwydd yr wyt ti yn rhodio
† *hyn, deffro yn dy gwsg.* mewn perygl i syrthio. Pan glywech † hyn yn dy gwsg, deffro.

14 Yn dy holl oes câr yr Arglwydd, a galw arno ef i'th iachawdwriaeth.

15 Pob anifail a gâr ei gyffelyb, a phob dŷn sy dda ganddo ei gymmydog.

16 Pob cnawd a ymgynnulla wrth ei ryw, ac wrth ei gyffelyb y glŷn gwr.

17 [b] Pa gyfeillach sydd rhwng y blaidd b 2 Cor. 6. 14.
a'r oen? felly rhwng y pechadur a'r duwiol.

18 Pa heddwch sydd rhwng yr Hyena a'r ci? a pha heddwch sydd rhwng y cyfoethog a'r tlawd?

19 Yr asynnod gwylltion yn yr anialwch yw helfa 'r llewod: [c] ‡ porfa 'r cyfoethogion c Iago 2. 6.
yw 'r tlodion. ‡ *felly y mae y cyfoethog yn bwytta y tlawd.*

20 Ffieidd-dra 'r beilchion yw gostyngeiddrwydd: felly y mae 'r tlawd yn ffiaidd gan y cyfoethog.

21 Pan siglo'r cyfoethog, ei gyfeillion a'i sicrhant ef; ond pan syrthio 'r tlawd, ei gyfeillion a'i gwthiant ef.

22 Pan syrthio'r cyfoethog, fe a fydd iddo lawer cynnorthwywyr: pe dywedai efe bethau i'w celu, hwy a'i cyfiawnhânt ef. Llithrodd y gwael-ddyn a cheryddwyd ef: efe a lefarodd yn ddoeth, ac ni roddid iddo le.

23 Pan lefarai 'r cyfoethog, [d] pawb a d Job 29. 9.
dawai, ac a ddyrchafent ei ymadrodd ef hyd y cymmylau: pan lefarai y tlawd, hwy a ddywedent, Pwy yw hwn? ac os tramgwyddai, hwy a'i dymchwelent ef.

24 Da yw 'r cyfoeth ni bo ynddo bechod; a drwg yw tlodi yngenau 'r annuwiol.

25 Calon dŷn sydd yn newidio ei wyneb ef, pa un bynnag ai er da ai er drwg: calon lawen a wna wyneb siriol.

26 Arwydd calon mewn gwŷnfyd yw wyneb llawen; a meddylfryd poenus yw cael allan ddammhegion.

## PEN. XIV.

1 *Cydwybod dda a wna wr yn ddedwydd.* Hydref, 31. B.
*5 Ni wna cybydd dda i neb. 13 Ond dilyn di-ddaioni. 20 Dedwydd yw y rhai a gyrcho at ddoethineb.*

[a] GWYN ei fyd y gwr ni lithrodd â'i a Pen. 19. 16. a 25. 8. Iago 3. 2.
enau, ac ni phigwyd â lliaws o bechodau.

2 Gwŷn ei fyd yr hwn ni chondemnio ei † enaid ei hun ef, a'r hwn ni syrthio oddi † *gydwybod.*
wrth ei obaith yn yr Arglwydd.

3 Nid da yw cyfoeth i wr cybydd; a pha beth a wnai gwr cynfigennus â golud?

4 Yr hwn sydd yn casglu, *gan arbed* oddi wrtho ei hun, [b] sydd yn casglu i arall; ac b Pen. 11. 19.
eraill a lythinebant ei ddâ ef.

5 Yr hwn sydd ddrwg iddo ei hun, i bwy y bydd efe yn dda? ni chaiff efe lawenydd o'i olud.

6 Nid oes neb waeth nâ'r hwn sydd yn cynfigennu wrtho ei hun; a dyma wobr ei ddrygioni ef.

7 Os gwna efe ddaioni, nid o'i fodd y gwna: ac o'r diwedd efe a wna ei ddrygioni yn amlwg.

8 Drwg yw golwg y cynfigennus: efe a drŷ ei wyneb, ac a ddirmyga ddynion.

9 [c] Llygad y cybydd ni lenwir â'i ran; ac c Dihar. 27. 20.
anghyfiawnder y drygionus a wywa ei enaid ef.

10 Llygad drwg sydd gynfigennus am ei fara, ac y mae efe yn grintach ar ei fwrdd.

11 Fy mab, pa fodd bynnag y byddo gennyt ti, bydd dda wrthyt dy hun, a dwg dy offrymmau i'r Arglwydd yn addas.

12 Cofia nad oedd angau, ac na ddangos-
† *y bedd.* wyd i ti gyfammod † uffern.
d Tob. 4. 7. Luc 14. 13. 13 Cyn dy farw d bydd dda wrth dy gy-
faill; ac yn ol dy allu, estyn dy law, a dod
iddo ef.
e Preg. 5. 12, &c. a 6. 1, &c. 14 e Na thwylla dydi dy hun am ‡ y dydd
da, ac nac aed rhan chwant da heibio i ti.
‡ *y dydd gweledd.* 15 f Onid i arall y gadewi di dy lafur, a'r
hyn y cymmeraist boen am dano, i'w rannu
f Adn. 4. wrth goelbren?
16 Dod, a derbyn, a sancteiddia dy enaid;
o herwydd nid gwiw ceisio bwyd yn y bedd.
g Psal. 102. 26. 17 g Pob cnawd a heneiddia fel dilledyn;
Esay 40. 6. canys y cyfammod o'r dechreu *yw*, Ti a
Heb. 1. 11. fyddi farw yn ddiau.
Iago 1. 10. 18 Fel o'r dail gleision ar bren brigog y
1 Petr 1. 24. mae rhai yn syrthio, a rhai yn torri allan;
h Preg. 1. 4. felly y mae cenhedlaeth cig a gwaed, h y
naill sydd yn marw, a'r llall yn geni.
19 Pob gwaith a bydra ac a dderfydd, a'r
hwn sydd yn ei weithio ef a â gyd ag ef.
i Psal. 1. 2. 20 i Gwŷn ei fyd y gwr a fyfyria bethau
da mewn doethineb, a'r hwn yn synhwyrol a
ymresymma am bethau sanctaidd.
21 Yr hwn a feddwl am ei ffyrdd hi yn
ei galon a fydd ddeallgar yn ei dirgeledi-
gaethau hi.
22 Dos ar ei hol hi fel olrheinwr, a chyn-
llwyn yn ei ffyrdd hi.
23 Yr hwn a edrycho trwy ei ffenestri hi,
a wrendy hefyd wrth ei dorau hi.
24 Yr hwn a lettyo yn agos i'w thŷ hi, ac
a yrro ei hoel i'w pharwydydd hi.
25 Efe a esyd ei babell ger llaw iddi, ac a
§ *pethau.* lettya yn lletty y § rhai daionus.
26 Efe a esyd ei feibion dan ei chysgod
hi, ac a erys dan ei changhennau hi.
k Doeth. 10. 17. 27 k Hi a'i cysgoda ef rhag y gwres, ac
efe a lettya yn ei gogoniant hi.

## PEN. XV.

Hydref, 31. P. S. Petr, B. 1 *Doethineb a ymgeleddа y rhai a ofno'r
Arglwydd: 7 ond yr annuwiol ni chânt
afael arni. 11 Nad iawn i ni fwrw ar
Dduw ein beiau ni: 14 O blegid efe a'n
gwnaeth ni, ac a'n gadawodd i ni ein
hunain.*

YR hwn sydd yn ofni'r Arglwydd a wna
dda, a'r hwn sydd yn dal gwybodaeth
y gyfraith a'i caiff hi.
2 Fel mam y cyfarfydd hi ag ef, ac fel gw-
raig a briodwyd o forwyn y derbyn hi ef.
3 Hi a'i portha ef â bara deall, ac a'i
dioda ef â dwfr doethineb.
4 Efe a sicrheir arni hi, ac ni ogwydda:
efe a lŷn wrthi hi, ac ni waradwyddir ef.
5 Hi a'i cyfyd ef goruwch ei gymmydo-
gion, ac a egyr ei enau ef ynghanol y gyn-
nulleidfa.
6 Llawenydd a choron gorfoledd a gaiff
efe; a hi a rydd iddo enw tragywyddol yn
etifeddiaeth.
7 Eithr dynion ansynhwyrol ni chânt afael
arni hi; a gwŷr pechadurus hefyd ni chânt
ei gweled hi.
8 Canys pell yw hi oddi wrth falchder;
a gwŷr celwyddog ni chofiant hi.
a Psal. 33. 1. 9 a Nid gweddus † clod yngenau pe-
Dihar. 26. 7. chadur: o blegid ‡ yr Arglwydd ni's an-
fonodd hi iddo ef.
† *dihareb.* 10 Canys trwy ddoethineb y treuthir
‡ *ef.* § clod; a'r Arglwydd a'i llwydda ef.
§ *dihareb.* 11 Na ddywed, Trwy waith yr Ar-
glwydd yr euthum i ymaith: o blegid ni
ddylit ti wneuthur yr hyn sydd gas ganddo
ef.

12 Na ddywed, Efe ‖ a'm lluniodd i: ‖ *a wnaeth i mi gyfeiliorni.*
o blegid nid rhaid iddo ef wrth wr pecha-
durus.
13 Cas gan yr Arglwydd bob ffieidd-dra;
ac nid da yw hynny gan y rhai a'i hofnant ef.
14 Efe b a wnaeth ddyn o'r dechreuad, ac b Gen. 1.
a'i gadawodd ef yn llaw ei gyngor; 26.
15 Os mynni, i c gadw'r gorchymynion, c Mat. 19.
ac i wneuthur ffyddlondeb cymmeradwy. 17.
16 d Efe a osododd o'th flaen di dân a d Deut. 30. 19.
dwfr: estyn dy law at yr hwn a fynnych di. Jos. 24. 15.
17 e Y mae o flaen † dynion einioes ac ang- e Jer. 21. 8.
au; a'r hyn a fynno efe a roddir iddo ef. † *dyn.*
18 O blegid mawr yw doethineb yr Ar-
glwydd, ac y mae efe yn gryf o allu, ac yn
gweled pob peth.
19 Hefyd f y mae ei olwg ef ar y rhai sy f Psal. 33.
yn ei ofni ef; ac efe a ŵyr holl waith dŷn. 18. a 34. 15.
20 Ni orchymynodd efe i neb wneuthur Heb. 4. 13.
yn annuwiol; ac ni roddes efe gennad i neb
i bechu.

## PEN. XVI.

1 *Gwell yw bod yn ddi-blant, nag yn berchen* Tachwedd, 2. B.
*llawer o blant annuwiol. 6 Nad arbedir
yr anwir er mwyn eu bod yn aml. 12 Y
mae trugaredd Duw'n fawr, a'i allu he-
fyd. 17 Na all yr annuwiol ymguddio.
20 Y mae gweithredoedd Duw yn an-
chwiliadwy.*

NA ddymuna lïaws o blant anfuddiol;
ac na fydd lawen o blant annuwiol.
2 Os amlhânt, na fydd lawen o honynt
hwy, oni bydd ofn yr Arglwydd gyd â
hwynt.
3 Nac ymddiried i'w heinioes hwynt,
ac na hydera ar eu lliosowgrwydd hwynt:
canys gwell yw un cyfiawn nâ mil, a gwell
yw marw heb blant nâ chael plant an-
nuwiol.
4 Canys trwy un synhwyrol y gwneir y
ddinas yn gyfannedd; ond tylwyth yr an-
nuwiol a â yn anghyfannedd.
5 Llawer o'r fath hyn a welodd fy lly-
gad i; a'm clust a glywodd bethau mwy
nâ hyn.
6 a Ynghynnulleidfa pechaduriaid y cyn- a Pen. 21.
neu tân, ac mewn cenedl wrthryfelgar y 9.
llysg digofaint.
7 b Ni bu efe foddlon i'r hen gawri, y rhai b Gen. 6. 4.
a ymadawsant ynghryfder eu ffolineb. Doe. 14. 6.
8 c Nid arbedodd efe le ymdaith Lot, eithr c Gen. 19.
d ffieiddiodd hwynt am eu balchder. 24.
9 Ni thrugarhaodd efe wrth genedl dis- d Ezec. 16.
tryw, y rhai a aethant allan yn eu pechodau 49, 50.
a wnaethant;
10 e Na'r chwe chân mil o wŷr traed, y e Num. 14.
rhai a gasglesid ynghaledwch eu calonnau. 15. a 11. 20.
11 Ac os bydd un gwarsyth ym mysg y a 21. 6. a 26. 64.
bobl, rhyfedd yw os dianc efe yn ddige-
rydd: canys gyd ag ef y mae f trugaredd f Pen. 5. 6.
a digofaint: y mae efe yn alluog i faddeu,
ac i dywallt digofaint.
12 Yn ol amldra ei drugaredd y bydd ei
argyoeddiad ef: g yn ol ei weithredoedd y g Psal. 62.
barna efe wr. 12.
13 Ni ddiangc pechadur â'i anrhaith; ac
ni phalla amynedd y duwiol.
14 Dod le i bob elusen: oblegid pob un a
gaiff yn ol ei weithredoedd.
15 Yr Arglwydd a galedodd Pharaoh, fel h 1 Bren. 8.
nad adwaenai efe ef, fel y byddai ei rym 27.
ef yn hysbys i'r byd. 2 Chron. 6.
16 Ei drugaredd ef sydd amlwg i bob 18.
creadur: ag adamant h y gwahanodd efe Ioan 1. 4.
ei oleuni a'r tywyllwch. 2 Petr 3. 7, 10.

17 Na ddywed, Rhag yr Arglwydd yr ym-
guddiaf: a phwy o'r uchelder a'm cofia? Ym
mysg pobl lawer ni'm cofir i: canys beth yw
fy enaid i ym mysg creaduriaid mor aneirif?
‖ 1 Bren. 8. 18 Wele, ‖ y nef, ie nef y nefoedd, y dyfn-
2 Cron. 6. der, a'r ddaear, ar hyn sydd ynddynt hwy a
siglant, pan ofwyo efe.
19 Y mynyddoedd a seiliau 'r ddaear, pan
edrychai 'r Arglwydd arnynt hwy, a gyd-
ysgydwent, dan grynu.
20 Ni all calon feddwl am y pethau hyn
yn addas: a phwy a all ddeall ei ffyrdd ef?
21 Tymmestl yw hi, yr hon ni all neb
ei gweled; canys y rhan fwyaf o'i waith ef
sydd guddiedig.
22 Pwy a draetha, neu a ddioddef weith-
redoedd ei gyfiawnder ef? o herwydd pell
yw ei gyfammod, a holi pob peth a fydd yn
y diwedd.
23 Y disynwyr a feddwl am bethau ofer;
a'r gwr angall cyfeiliornus sydd yn meddwl
pethau ffol.
24 Gwrando arnaf, fy mab, a dysg wybod-
aeth; ac ar fy ngeiriau i gwylia â'th galon.
25 Mi a ddangosaf addysg wrth bwys, ac
a draethaf yn ofalus am ei wybodaeth ef.
26 Wrth farn y gwnaed gweithredoedd
yr Arglwydd o'r dechreuad; ac efe a ddos-
parthodd eu rhannau hwynt er pan wnaed
hwynt.
27 Efe a addurnodd ei weithredoedd
† eu dechreuad. byth; y mae † 'r rhai pennaf o honynt yn
‡ phoenasant. ei law ef byth bythol. Ni ‡ newynasant, ac
ni flinasant, ac ni pheidiasant â'u gwaith.
28 Ni rwystra 'r naill o honynt y llall; ac
ni anufuddhânt ei air ef byth.
29 Wedi hyn yr edrychodd yr Arglwydd
ar y ddaear, ac efe a'i llanwodd hi â'i
ddaioni.
30 Y mae efe yn gorchuddio ei hwyneb
hi â phob peth byw: ac iddi hi y maent
hwy yn dychwelyd drachefn.

## PEN. XVII.

Tach. 2. P. 1 *Y modd y gwnaeth, ac y cynnysgaeddodd*
*Duw ddyn.* 14 *Gochel bob pechod.* 19 *am*
*fod Duw yn canfod pob peth.* 25 *Tro di-*
*thau atto ef yn dy fywyd a'th iechyd.*

a Gen. 1. 27. a 3. 19. a 5. 2. Doeth. 2. 23. a 7. 1, 6. YR Arglwydd [a] a greodd ddyn o'r
ddaear, ac y mae efe yn ei droi ef
iddi hi drachefn.
2 Efe a roddes iddynt hwy ddyddiau
rhifedig, ac amser, ac a roddes iddynt hwy
feddiant ar y pethau sy ynddi hi.
3 Ac efe a'u gwisgodd hwy â nerth cym-
b Gen. 1. mwys iddynt, ac [b] a'u gwnaeth hwy ar ei
26. a 9. 6. ddelw ei hun.
1 Cor. 11. 7. 4 Efe a roddes ei ofn † ef ar bob cnawd,
Col. 3. 10. ac iddo ef lywodraethu ar fwystfilod ac
† ddyn. ehediaid.
5 [Derbyniasant rym pum gweithred-
iad yr Arglwydd; ac efe a rannodd iddynt
hwy feddwl yn y chweched lle; ac yn y
seithfed ymadrodd, yn lladmerydd o'i fed-
dyliau ef.]
6 Cyngor, a thafod, a llygaid, clustiau,
a chalon a roddes efe iddynt hwy i ddeall.
7 Hefyd efe a'u llanwodd hwynt â gwy-
bodaeth deall, ac a ddangosodd iddynt hwy
dda a drwg.
8 Efe a osododd ei olwg ar eu calonnau
hwynt, fel y dangosai iddynt fawredd ei
weithredoedd.
9 Efe a roddes iddynt orfoleddu byth yn
ei ryfeddodau ef, fel y mynegent ei weith-
redoedd ef yn synhwyrol.

10 A'r etholedigion a glodforant ei Enw
sanctaidd ef.
11 Efe a roddes hefyd iddynt hwy wy-
bodaeth, a chyfraith y bywyd yn etifedd-
iaeth iddynt.
12 Efe a wnaeth gyfammod tragywyddol
â hwynt, ac a ddangosodd ei farnedigaeth-
au iddynt.
13 Eu llygaid a welsant fawredd ei ogo-
niant, a'u clustiau a glywsant ei leferydd
gogoneddus ef.
14 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy,
Gochelwch rhag pob peth anghyfiawn:
hefyd [c] efe a roes orchymyn i bob un o c Exod. 20.
honynt hwy am ei gymmydog. a 21, a 22, a 23.
15 Ni chuddir eu ffyrdd hwy o'i olwg
ef; o'i flaen ef *y maent hwy* bob amser.
16 Pob dyn o'i ieuengctid *sydd yn pwyso*
i ddrygioni; ac ni allent hwy wneuthur eu
calonnau yn gig o rai cerrig.
17 O herwydd [d] wrth ddosparthu cen- d Deut. 32.
hedloedd yr holl ddaear, efe a osododd [e] dy- 8, 9.
wysog ar bob cenedl, ac [f] a gymmerodd e Rhuf. 13. 1.
yr Israel yn rhan iddo ei hun;
18 Yr hwn, ac efe yn gyntaf-anedig, y mae f Deut. 4.
efe yn ei faethu ag addysg; ac wrth gyfrannu 20. a 10. 15.
goleuni cariad, nid yw yn ei yrru ef ymaith.
19 Am hynny eu holl weithredoedd
hwynt sydd fel yr haul ger ei fron ef; ac
y mae ei lygaid ef yn wastadol ar eu ffyrdd
hwynt.
20 Nid yw eu hanghyfiawnder hwynt
guddiedig rhagddo ef; eithr y mae eu holl
bechodau hwynt ger ei fron ef.
21 Eithr yr Arglwydd am ei fod yn dda-
ionus, ac yn adnabod yr hyn a luniodd efe
ei hun, ni's gadawodd hwynt, ac ni pheid-
iodd â'u harbed.
22 [g] Elusenau gwr sydd megis sel gyd g Pen. 29.
ag ef: ac efe a geidw gymmwynas dyn fel 12, 13.
canwyll llygad, gan rannu edifeirwch i'w
feibion a'i ferched ef.
23 [h] Wedi hynny efe a gyfyd ac a dâl h Mat. 25.
iddynt hwy, ie eu taledigaeth a dâl efe ar 34, 35.
eu pennau.
24 Etto [i] efe a roddes i'r edifeiriol ddych- i Act. 3. 19.
weliad, ac a gysurodd y rhai a adawsent
ammynedd.
25 [k] Tro gan hynny at yr Arglwydd, a k Ier. 3.
gâd dy bechodau: gweddia o'i flaen ef, a 12.
gwna lai o fai.
26 Dychwel at y Goruchaf, a thro oddi
wrth anghyfiawnder: o herwydd efe a'th ar-
wain di o dywyllwch i oleuni iachawdwr-
iaeth. Casâ hefyd ffieidd-dra yn ddirfawr.
27 [l] Pwy a folianna 'r Goruchaf yn y l Psal. 6. 5.
bedd, yn lle y rhai sydd yn byw, ac yn a 115. 17.
rhoddi mawl? Esa. 38.
18, 19.
28 Darfu mawl gan y marw, megis gan
un heb fod: yr hwn sydd yn fyw ac yn
iach ei galon a folianna 'r Arglwydd.
29 Mor fawr yw trugaredd ein Har-
glwydd Dduw ni, a'i dosturi i'r rhai sy'n
troi atto ef yn sanctaidd!
30 Canys ni all pob peth fod mewn dy-
nion, am nad yw mab dyn yn anfarwol.
31 [m] Pa beth disgleiriach na 'r haul? ac m Job 25.
y mae diffyg ar hwn: ‡ felly dyn yr hwn 4, 5.
sydd yn meddwl *yn ol* cig a gwaed. ‡ a chig a
32 Y mae efe yn ystyried nerth uchder gwaed a
y nefoedd; eithr daear a lludw yw pob feddwl
dyn. ddrwg.

## PEN. XVIII.

1 *Rhyfeddol yw gweithredoedd Duw.* 9 *Berr* Tach. 3. B.
*yw oes dyn.* 11 *Y mae Duw yn druga-*
*rog.* 15 *Na lygra mo'th weithredoedd*

*da â geiriau drwg. 29 Nac oeda yngy-*
*flawnhâu. 30 Na ddilyn mo'th drachwan-*
*tau.*

a Gen. 1. 1.

YR hwn sydd yn byw byth [a] a greoedd bob peth yn gyffredinol.

2 Yr Arglwydd yn unig sydd gyfiawn, ac nid oes neb ond efe.

† *chledr.*

3 Yr hwn â † rhychwant ei law sydd yn llywodraethu'r byd, ïe ac y mae pob peth yn ufuddhâu i'w ewyllys ef: o blegid y mae efe yn frenhin ar bob peth, trwy ei nerth [b] yn gwahanu ynddynt hwy y pethau sanctaidd oddi wrth y pethau halogedig.

b Lef. 10. 10.

4 I bwy y parodd efe fynegi ei weithredoedd ef? [c] a phwy a olrheiniodd allan ei fawrion weithredoedd ef?

c Psal. 106. 2.

5 Pwy a rif gadernid ei fawredd ef? a phwy a esyd ar draethu ei drugaredd ef?

6 Ni ellir lleihâu na 'chwanegu, ac ni ellir olrhain allan ryfeddodau'r Arglwydd.

7 Pan orphenno dŷn, yna y dechreu efe; a phan beidio efe, yna efe a betrusa.

8 Pa beth yw dŷn? a pha fudd sydd o hono ef? Beth yw ei dda ef? a pha beth yw ei ddrwg ef?

d Psal. 90. 10.

9 [d] Rhifedi dyddiau dŷn ydynt gan mlynedd o'r mwyaf.

e 2 Petr 3. 8.

10 Fel defnyn o ddwfr wrth y môr, ac fel graienyn wrth y tywod, yw [e] mil o flynyddoedd wrth ddyddiau tragywyddoldeb.

11 Am hynny y mae yr Arglwydd yn ymaros wrthynt hwy, ac yn tywallt ei drugaredd arnynt hwy.

12 Efe a welodd, ac a wybu fod eu diwedd hwy yn ddrwg: am hynny efe a wnaeth ei drugaredd yn aml.

13 Trugaredd dŷn sydd tu ag at ei gymmydog, a thrugaredd yr Arglwydd ar bob cnawd: yn argyoeddi, ac yn addysgu, ac yn athrawiaethu, ac yn troi, fel y gwna bugail ei braidd,

14 Y mae efe yn trugarhâu wrth y rhai sy'n derbyn addysg, ac wrth y rhai sydd yn brysio at ei farnedigaethau ef.

f Pen. 14. 24.

15 [f] Fy mab, na ddifwyna dy weithredoedd da, ac na ddod air drwg sarrug wrth roddi peth.

16 Onid yw'r gwlith yn gostwng y gwres? felly gwell yw gair nâ rhodd.

17 Wele, onid gwell yw gair nâ rhodd dda? eithr gyd â'r graslon y mae pob un o'r ddau.

18 Un ffol a ddannod yn daiogaidd; a rhodd y cynfigennus a wna i'r llygaid ballu.

19 Cyn llefaru, dysg: a chyn afiechyd cymmer feddyginiaeth.

g 1 Cor. 11. 28, 31.

20 Cyn barn [g] hola di dy hun; ac yn amser gofwy ti a gei drugaredd.

21 Cyn dy glefychu ymddarostwng trwy ddirwest; ac yn amser pechod dangos edifeirwch.

h Deut. 23. 21. Preg. 5. 4.

22 [h] Na ad i ddim dy rwystro i dalu dy adduned mewn pryd; ac nac oeda ymgyfiawnhâu hyd farwolaeth.

23 Ymbarottoa cyn gweddïo; ac na fydd fel dŷn yn temtio'r Arglwydd.

i Pen. 7. 17, 37.

24 [i] Meddwl am y digofaint *a fydd* yn y diwedd, ac amser dïaledd, pan droer ei wyneb ef ymaith.

25 Yn amser amldra, meddwl am amser newyn; ac yn amser cyfoeth, am dlodi ac eisiau.

26 O'r boreu hyd yr hwyr y newidia amser, a phob peth a wneir yn fuan ger bron yr Arglwydd.

k Dihar. 28. 14.

27 [k] Ar ddyn doeth y bydd ofn duwiol ym mhob peth, ac yn amser pechod efe a ymochel rhag amryfusedd; a'r anghall ni cheidw amser.

28 Pob un synhwyrol a edwyn ddoethineb ac addysg; ac efe a rydd fawl i'r hwn a'i cafodd hi.

29 Y rhai a fuant ddeallus mewn ymadroddion, a aethant hefyd yn ddoethion eu hunain.

l Rhuf. 6. 6. a 13. 14.

30 [l] Na ddos ar ol dy chwantau, eithr ymattal oddi wrth dy awydd.

31 Os rhoddi i'th enaid yr hyn a ryngo bodd iddo, yna y gwnei di i'th elynion chwerthin, y rhai sydd yn cynfigennu wrthyt ti.

32 Na ymlawenycha mewn llawer o ddanteithrwydd, ac nac ymrwym i'r draul.

33 Na ddos yn dlawd trwy wledda wrth fenthyccio, heb ddim yn dy bwrs; canys *felly* y byddit ti enwog gynllwynwr i'th einioes dy hun.

## PEN. XIX.

Tach. 3. P. S. Petr, P.

*2 Gwin a gwragedd a dwylla'r doethion.*
*7 Na ddywed gwbl ag a glywych. 17 Ce-*
*rydda dy gydymmaith yn ddiddig. 22 Nid*
*oes dim doethineb mewn annuwioldeb.*

NI chyfoethoga gweithiwr meddw: a'r hwn sydd yn diystyru ychydig, a syrth o fesur ychydig ac ychydig.

a Gen. 19. 32. b 1 Bren. 11. 1.

2 [a] Gwin a [b] gwragedd sydd yn gyrru doethion ar encil; a'r hwn a lyno wrth butteiniaid a fydd digywilydd.

3 Pydrni a phryfed a'i cânt ef yn etifeddiaeth, a gwr rhyfygus a gymmerir ymaith.

c Jos. 22. 11.

4 [c] Yr hwn sydd yn credu yn fuan sydd ysgafn ei feddwl; a'r hwn sydd yn pechu a gyfeiliorna yn erbyn ei enaid ei hun.

5 Yr hwn sydd yn llawenychu mewn drygioni a gondemnir; yr hwn sydd yn gwrthwynebu melus-chwant sydd yn coroni ei fywyd.

6 Yr hwn a attalio ei dafod a fydd byw yn ddigynnen; a'r hwn sydd yn casau siarad sydd yn llai ei niweid.

d Pen. 41. 23.

7 [d] Nac ail-adrodd wrth arall y peth a ddywedpwyd i ti, ac ni byddi ronyn gwaeth.

† *pa un bynnag ai cyfaill ai gelyn,*

8 Na fynega fuchedd arall † wrth na chyfaill na gelyn; ac na ddatguddia, os gelli yn ddifai.

‡ *a ddengys ei gas.*

9 Canys efe a'th wrendy, ac a ddeil arnat ti; ac mewn amser efe ‡ a'th gasâ di.

10 Pan glywech air, gâd iddo farw gyd â thi; a bydd ddïogel na rwyga efe dydi.

11 Un ffol a ofidia gan air, fel yr hon yn esgor ar blentyn.

§ *yngha-lon.*

12 Fel saeth ynglŷn ym morddwyd un, felly y mae gair § ym mola'r ffol.

e Lef. 19. 17. Mat. 18. 15.

13 [e] Rhybuddia gyfaill; ysgatfydd ni's gwnaeth: ac os gwnaeth, rhag gwneuthur mwy.

‖ *Rhybuddia.*

14 ‖ Cerydda dy gyfaill; ysgatfydd ni's dywedodd: ac os dywedodd, rhag iddo ddywedyd eilwaith.

† *Rhybuddia.*

15 † Cerydda gyfaill: o blegid mynych y mae yn enllib; ac na choelia bob chwedl.

‡ *o'i galon.* f Pen. 14. 1. Iago 3. 2.

16 Y mae un yn llithro yn ei ymadrodd, ac nid ‡ o'i fodd; a phwy [f] ni thramgwyddodd â'i dafod?

§ *Rhybuddia.*

17 § Cerydda dy gymmydog cyn ei fygwth; a dod le i gyfraith y Goruchaf, gan fod yn ddiddig.

18 [g] Ofn yr Arglwydd yw dechreuad † cymmeradwyaeth gyd ag ef: a doethineb a bair gariad gantho ef.

[g] Dihar. 1. 7. Pen. 40. 26. † *ei dderbyn ef.*

19 Addysg bywyd yw gwybodaeth gorchymynion yr Arglwydd: a'r rhai sydd yn gwneuthur yr hyn sydd foddlon ganddo ef, [h] sydd yn cael ffrwyth pren anfarwoldeb.

[h] Dat. 2. 7. a 22. 2, 14.

20 Ofn yr Arglwydd yw pob doethineb; ac ym mhob doethineb y mae gwneuthuriad y gyfraith, a gwybodaeth am ei Holl-alluogaeth ef.

21 [i] Y gwas a ddywedo wrth ei feistr, Ni wnaf yr hyn sydd foddlon *gennyt*, pe gwnai efe wedi hynny, y mae efe yn digio ei faethydd.

[i] Mat. 21. 29.

22 Nid doethineb yw gwybodaeth drygioni; a chyngor pechaduriaid nid yw synwyr.

23 Y mae drygioni, a hwnnw yn ffiaidd; ac y mae anghall annoeth.

24 Gwell yw y bychan ei ddeall, ac yn ofni Duw, nâ'r hwn sydd yn rhagori mewn callineb, ac yn troseddu cyfraith y Goruchaf.

25 Y mae cyfrwysdra diwyd, a hynny yn anghyfiawn; ac y mae a drŷ ymaith ffafr, i ddangos barn: a doeth yw yr hwn sydd gyfiawn mewn barn.

26 Y mae un yn gwneuthur drygioni yn bruddaidd, ond wedi ymgrymmu, *ac* o'i fewn yn llawn twyll tanllyd:

27 Efe gan gyd-ostwng ei wyneb, a chymmeryd arno fod yn fyddar, lle nid adwaenir ef, a ‡ achub dy flaen di, i wneuthur niweid i ti.

‡ *wna ddrwg cyn i ti ei wyboddi wrtho ef.*

28 Ac os o eisiau gallu y rhwystrir iddo ef bechu; etto efe a wna ddrwg os caiff § amser.

§ *gyfle.*

29 Wrth y golwg yr adwaenir gwr: ac wrth ei olwg yr adwaenir un deallus, pan gyfarfyddech ag ef.

30 Gwisg gwr, a [k] chwerthiniad y dannedd, a'i gerddediad, sydd yn dangos yr hyn sydd ynddo ef.

[k] Pen. 21. 20.

## PEN. XX.

Tach. 4. B.

1 *Ynghylch tewi, a dywedyd;* 10 *rhoddion, ac elw;* 18 *a llithro â'r tafod:* 24 *a dywedyd celwydd.* 27 *Amryw gynghorion.*

Y Mae cerydd nid yw † dêg; ac y mae un yn tewi, a hwnnw yn gall.

† *mewn pryd.*

2 Gwell o lawer yw ceryddu nâ digio yn ddirgel: ac fe gedwir rhag niweid yr hwn a gydnabyddo *ei fai.*

3 Mor dda yw dangos edifeirwch pan y'th gerydder! felly y diengi rhag pechod gwirfodd.

4 Megis chwant [a] dispaidd i dorri morwyndod llangces, felly y mae'r hwn sy'n gwneuthur barnedigaeth wrth drawsder.

[a] Pen. 30. 20.

5 Y mae un distaw, yr hwn a geir yn ddoeth; ac y mae sydd atcas am ei siarad lawer.

6 Y mae sydd yn tewi, am nad oes ganddo atteb; ac y mae sydd yn tewi, am ei fod [b] yn gwybod ei amser.

[b] Preg. 3. 7.

7 Dŷn doeth [c] a daw, hyd oni welo amser; eithr ‡ yr ehud a'r anghall § a â dros amser.

[c] Pen. 32. 4. ‡ *y siaradwr.* § *nid edrych am.*

8 Yr aml ei eiriau a ffieiddir; ac atcas fydd yr hwn yn hynny a gymmero awdurdod iddo ei hun.

9 Y mae pechadur yr hwn sydd yn llwyddo mewn pethau drwg; ac y mae caffaeliad a drŷ yn niweid.

10 Y mae rhodd ni bydd fuddiol i ti; ac y mae rhodd a dâl ei dau cymmaint.

11 Y mae gostyngiad o herwydd gogoniant; ac y mae a gododd ei ben o waeledd.

12 Y mae a bryn lawer am ychydig, ac a'i tâl adref yn saith gymmaint.

13 [d] Gwr doeth wrth ei ymadrodd sydd yn ei wneuthur ei hun yn gariadus; a ‖ ffafr ffyliaid a † dywelltir allan.

[d] Pen. 6. 5. ‖ *chwedleu digrif.* † *gollir.*

14 Ni bydd rhodd yr anghall fuddiol i ti, pan y derbyniech; na'r eiddo'r cynfigennus o herwydd ei angen: o blegid y mae efe yn edrych am dderbyn llawer peth am un.

15 Ychydig a rydd efe, a [e] llawer a ddannod efe; efe a egyr ei safn fel criwr; heddyw yr echwyna efe, ac y foru fe a'i gofyn drachefn: cas gan yr Arglwydd a chan ddynion yw y cyfryw.

[e] Pen. 4. 29.

16 Y ffol a ddywed, Nid oes gennyf gyfeillion, nid oes i mi ddiolch am fy nghymwynasau, a'r rhai sydd yn bwytta fy mara i sydd yn ddrwg eu tafod am danaf.

17 Pa sawl gwaith, a pha sawl un a'i gwatwarant ef! nid yw efe yn deall yn iawn beth yw bod â pheth ganddo; a'r un fath iddo ef yw na bai ganddo.

18 Gwell yw llithro ar balmant, nâ llithro â'r tafod; felly y daw cwymp y drygionus ar frys.

19 ‡ Chwedl amhrydlon fydd yn wastadol yngenau'r diaddysg.

‡ *Neu, dŷn anfelus.*

20 O enau'r ffol y llysir dihareb; o blegid ni ddywed efe hi yn ei hamser.

21 Y mae a luddir i bechu trwy eisiau; a phan orphwyso ni § phigir ef.

§ *thrallodir.*

22 [f] Y mae a gyll ei enaid ei hun o wladeidd-dra, a thrwy dderbyn wyneb y mae efe yn ei golli.

[f] Pen. 42. 1.

23 Y mae a edy i'w gyfaill rhag cywilydd, ac a'i gwna ef yn elyn iddo ei hun heb fod yn rhaid.

24 [g] Anaf mawr ar ddyn yw celwydd; ac efe fydd yn wastadol yngenau yr hwn sydd ddiaddysg.

[g] Pen. 25. 1.

25 Gwell yw lleidr nâ'r hwn a ymgynnefino â chelwydd: a phob un o'r ddau a gaiff ddinystr yn etifeddiaeth.

26 ‖ Ammharchus yw arfer dŷn celwyddog, a'i gywilydd fydd gyd ag ef yn wastadol.

‖ *Gwaradwyad.*

27 Y doeth a'i gesyd ei hun rhagddo trwy ymadrodd: a'r call a ryglydda fodd pendefigion.

28 [h] Yr hwn a goleddo ei dir, a wna ei ddas yn uwch; a'r hwn a ryglyddo fodd pendefigion, a gaiff faddeuant am anghyfiawnder.

[h] Dihar. 12. 11. a 28. 19.

29 [i] Anrhegion a rhoddion sydd yn dallu llygaid y doethion, † ac fel ffrwyn mewn safn, y maent yn troi cerydd ymaith.

[i] Exod. 23. 8. Deut. 16. 19. † *ac yn cau ei safn, fel na allo geryddu.*

30 Doethineb guddiedig, a thrysor heb ei weled, pa fudd sydd o'r un o'r ddau?

31 [k] Gwell yw dŷn yn cuddio ei ffolineb, nâ dŷn yn cuddio ei ddoethineb.

[k] Pen. 41. 15.

32 Gwell yw angenrheidiol ddioddefgarwch yn ceisio'r Arglwydd, nâg un yn llywodraethu ei fywyd ei hun heb gyfarwyddwr.

## PEN. XXI.

2 *Ffo rhag pechod, fel rhag sarph.* 4 *Ei draha a orrheithia'r cyfoethog.* 9 *Drwg fydd diwedd yr anghyfiawn.* 12 *Y rhagor sy rhwng y doeth a'r annoeth.*

Tach. 4. P. S. Iago, B.

a Psal. 41. 4. OS pechaist, *fy* mab, na wna mwy; eithr
a gweddïa dros yr hyn a fu.
Luc 15. 21. 2 Ffo oddi wrth bechod megis rhag wy-
neb sarph: o blegid os deui di yn agos atto,
efe a'th frath di. Dannedd llew yw ei ddan-
nedd ef, yn lladd eneidiau dynion.
3 Pob anwiredd *sydd* fel cleddyf dau-
finiog: ni ellir iachâu ei archollion ef.
* Ymryson. 4 † Ymsywyn a cham, a anrheithia gy-
foeth: felly y gwneir tŷ y beilchion yn an-
ghyfannedd.
b Exod. 3. 9. a 22. 23. 5 b Gweddi o enau'r tlawd a gyrraedd
i glustiau'r Arglwydd: a'i farn ef a ddaw
yn ebrwydd.
6 Yr hwn sydd yn casâu cerydd *sydd* ar
lwybr pechadur; eithr yr hwn sydd yn ofni
‡ edifarhâ. yr Arglwydd a ‡ drŷ o *ewyllys* ei galon,
7 Adwaenir o bell ac o agos yr ymadro-
ddus ei dafod: eithr y doeth a ŵyr pan
lithro efe.
8 Yr hwn a adeilado ei dŷ ag arian rhai
eraill, *sydd* megis yr hwn sydd yn casglu
iddo ei hun gerrig i *wneuthur* carnedd ei
feddrod.
c Pen. 16. 6. 9 Swp o garth c yw cynnulleidfa y rhai
anwir, a'u diwedd *fydd* fflam dân i'w di-
nystrio.
10 Ffordd pechaduriaid a wastattawyd
â cherrig: ac yn ei chwrr eithaf hi y mae
ffos uffern.
d Ioan 7. 17. 11 d Yr hwn sydd yn cadw cyfraith yr
Arglwydd, sydd yn dyfod i'w deall hi: a
pherffeithrwydd ofn yr Arglwydd yw der-
byn doethineb.
§ synhwyrol. 12 Yr hwn nid yw § gall, ni chymmer
e Preg. 1. 18. ddysg: e canys y mae || callineb yn amlhâu
chwerwedd.
|| cyfrwysdra. 13 Gwybodaeth y doeth a amlhâ fel lli-
feiriant; a'i gyngor ef *fydd* fel pur ffynnon
y bywyd.
f Pen. 33. 5. 14 f Tu mewn i'r ffol sydd fel llestr
twn; ni ddeil efe ddim gwybodaeth yn ei
fywyd.
15 Gwr doeth, os clyw air doeth, a'i
g Dihar. 9. 9. cenmyl, ac g a 'chwanega atto: yr anno-
eth a'i clybu, ac nid oedd foddlon ganddo,
eithr efe a'i trodd yn ol ei gefn.
16 Ymadrodd y ffol sydd megis baich
ar ffordd: eithr yngwefusau y doeth y ceir
gras.
17 A genau'r doeth yr ymofynnir yn
y gynnulleidfa, a hwy a ystyriant ei eiriau
ef yn eu calonnau.
18 Megis tŷ wedi ei dynnu ymaith yw
doethineb i'r ffol: ac ymddiddan disynwyr
yw gwybodaeth yr annoeth.
19 Megis llyffetheiriau ar draed, ac megis
gefynnau dwylaw ar y llaw ddehau, yw
addysg gan y rhai annoeth.
h Pen. 19. 30. 20 h Y ffol yn chwerthin a gyfyd ei lef,
eithr prin y gwena gwr call yn ddistaw.
21 Megis tlws o aur yw addysg gan y
call, ac megis arddyrn-dlws ar y braich
dehau.
22 Buan fydd troed y ffol yn nhŷ *arall;*
a'r gwr a ŵyr lawer fydd gwaradwyddus
ganddo hynny.
23 Yr anghall o'r drws a ysbia i'r tŷ;
eithr gwr medrus a saif allan.
24 Anfedrusrwydd dŷn yw gwrando wrth
ddrysau; a'r call fydd blin ganddo yr am-
march.
25 Gwefusau y rhai siaradus a drae-
thant bethau ni pherthyn iddynt eu hun:
a geiriau y rhai call a bwysir mewn
clorian.

26 Yngenau ffyliaid y mae eu calon; ac
ynghalon doethion y mae eu genau.
27 Pan felldithio'r annuwiol Satan, y mae
efe yn melldithio ei enaid ei hun.
28 i Yr hustyngwr sydd yn halogi ei enaid i Pen. 28.
ei hun, ac a gaseir pa le bynnag yr ymdei- 13.
thio efe.

PEN. XXII.

1 *Y diog.* 3 *Merch ffol.* 11 *Wyla dros yr* Tach. 5. B.
*ynfydion yn hytrach nâ thros y meirw.* S. Iago, P.
13 *Na fid i ti a wnelych â hwynt.* 16 *Nid*
*ysgog calon y doeth.* 20 *Pa beth a bair colli*
*cydymmaith.*

Y Diog sydd gyffelyb i garreg fudr; a
phawb a'i hwttia ef allan er ammharch
iddo.
2 I fiswail tommennau y cyffelybir y diog;
pob un a'i cymmero i fynu a ysgwyd ei law.
3 Gwaradwydd y tad a'i cenhedlodd yw
mab diaddysg; a merch *ffol* a anwyd i'w
golled ef.
4 a Merch gall † fydd etifedd ei gwr: a'r a Dihar. 12.
waradwyddus sydd dristwch i'w thad. 22.
5 Yr hŷ a waradwydd ei thad a'i gwr; † a ddwg
a hi a ammherchir gan bob un o'r ddau. etifeddiaeth i'w
6 *Megis* cerdd mewn tristwch yw ym- gwr
adrodd allan o amser: eithr prydlon bob
amser fydd ffrewyllau, ac addysg doethi-
neb.
7 Megis assio llestr pridd y mae yr hwn sy
yn dysgu'r ffol, ac megis un yn deffro un o
drymgwsg.
8 Mynegi i un yn cysgu y mae yr hwn
sydd yn mynegi peth i un ffol: a phan
ddarffo'r chwedl, efe a ddywed, Beth yw'r
matter?
9 Plant yn cael eu cynhaliaeth mewn
buchedd dda, sydd yn cuddio gwaeledd eu
rhieni.
10 A phlant yn ymffrostio mewn dirmyg
ac annoethineb, sydd yn halogi bonedd eu
carennydd.
11 b Wyla am y marw; canys efe a gollodd b Pen. 38.
y goleuni: ac wyla am y ffol; canys y mae 16.
diffyg synwyr arno. Wyla ychydig am y
marw; am iddo ef orphwys; eithr *gwaeth*
nâ marwolaeth yw bywyd y ffol.
12 c Saith niwrnod *fydd* o alar am y c Gen. 50.
marw; ond am y ffol a'r annuwiol, holl 10.
ddyddiau ei einioes ef.
13 Na amlhâ eiriau gyd â'r anghall, ac na
ddos at yr annoeth. d Ymgadw oddi wrtho d Pen. 12.
ef, rhag cael blinder, ac na'th haloger di gan 12.
ei fryntni ef. Cilia oddi wrtho ef, a thi a gei
orphwysdra, a byth ni'th flinir â'i ynfydr-
wydd ef.
14 Beth sydd drymmach nâ phlwm? a
pha enw sydd iddo ef ond Ffol?
15 e Haws yw dwyn tywod, a halen, a e Dihar. 27.
darn o haiarn, nâ dŷn ansynhwyrol. 3.
16 Coed wedi ei gyssylltu a'i rwymo yn
adeiladaeth, ni ddettyd er ei ysgwyd; felly
calon wedi ei sicrhâu trwy gyngor doeth, nid
arswyda un amser gan ofn.
17 Calon wedi ei chadarnhâu trwy fedd-
wl deallus, sydd fel plastr teg ar bared
llyfn.
18 Ni saif palis a osodir yn uchel, yn
erbyn y gwŷnt: felly calon ofnus, gyd â
meddwl un ffol, ni pheri yn erbyn ofn.
19 Yr hwn a bigo lygad, a ddwg ddagrau
allan; a'r hwn a bigo galon, a bair iddi
ddangos ei gwybodaeth.
20 Yr hwn a deifl garreg at adar, a'n tarfa
hwynt; a'r hwn sydd yn gwaradwyddo ei
gyfaill, sydd yn dattod cyfeillach.

21 Pe tynnit gleddyf ar *dy* gyfaill, na anobeithia: o herwydd y mae cymmod.

22 Pe agorit dy safn yn erbyn dy gyfaill, nac ofna: oblegid fe all bod cyttundeb; ond am waradwydd, a balchder, [f] datguddio cyfrinach, a dyrnod trwy dwyll: am y pethau hyn y ffy pob cyfaill ymaith. [f Pen. 27. 17.]

23 Cadw ffyddlondeb â'th gymmydog yn ei dlodi, fel y gallech lawenychu yn ei wynfyd ef. Glyn wrtho ef yn amser cystudd, fel y byddech gyd-etifedd yn ei etifeddiaeth ef. Nid yw ffiedd bob amser i'w ddirmygu, na'r cyfoethog angall i'w fawr-berchi.

24 O flaen tân y mae tarth a mwg y ffwrnes yn myned: felly y mae ymddifenwi o flaen celanedd.

25 Nid cywilydd fydd gennyf amddiffyn fy nghyfaill; ac nid ymguddiaf rhagddo ef.

26 Os digwydd i mi ddrwg o'i blegid ef, pob un a glywo a ochel rhagddo ef.

[g Psal. 141. 3.] 27 [g] Pwy a esyd gadwraeth o flaen fy ngenau, a sel doethineb ar fy ngwefusau, fel na syrthiwyf yn ddisymmwth trwyddynt, ac na'm difetho fy nhafod?

PEN. XXIII.

Tach. 5. P. 1 *Gweddi am ras i ochel pechu.* 9 *Nac arferwn dyngu:* 14 *ond cofiwn ein rhieni.* 16 *Am dri math o ddynion.* 23 *Bod y wraig odinebus yn pechu lawer o ffyrdd.*

O Arglwydd, Tad a llywydd fy holl einioes, na ad fi yn eu cyngor hwynt, ac na ad i mi syrthio trwyddynt.

2 Pwy a esyd ffrewyllau ar fy meddyliau, ac addysg doethineb ar fy nghalon? fel na'm harbedont am fy amryfusedd, ac nad êl heibio i'm pechodau:

3 Rhag cynnyddu fy anwybodaeth i, ac amlhau fy mhechodau i'm dinystr, a syrthio o honof o flaen fy ngwrthwynebwŷr, a llawenychu o'm gelynion arnaf, y rhai y mae eu gobaith yn bell oddi wrth dy drugaredd di.

4 O Arglwydd Dad, a Duw fy mywyd i, na ddod i mi olwg uchel; eithr tro oddi wrth dy weision feddwl cawraidd bob amser.

5 Tro oddi wrthyf fi ofer obaith a chwant; a dâl i fynu bob amser yr hwn a fynnai dy wasanaethu di.

6 Na oddiweddod awydd i'r bol fi, na chwant y cnawd: ac na ddod fi dy was i fynu i feddwl digywilydd.

7 Gwrandêwch, blant, addysg genau cywir: a'r hwn a'i cadwo, ni ddelir ef byth yn ei wefusau.

8 Y pechadur a adewir yn ei ffoledd: y difenwr a'r balch a ddifethir trwyddynt.

[a Exod. 20. 7. Pen. 27. 14. Mat. 5. 33, 34.] 9 [a] Na arfer dy enau i dyngu, ac na ymgynnefina ag enwi yr hwn sydd Sanctaidd.

10 O blegid megis ni bydd ychydig gleisiau ar y gwas a gurer yn wastadol; felly yr hwn a dyngo, ac a enwo *Duw* bob amser, ni bydd lân oddi wrth bechod.

11 Y gwr a dyngo lawer a lenwir o anwiredd, ac nid ymedy dialedd â'i dŷ ef: os pecha efe, ei bechod fydd arno: ac os dirmyga ganddo, y mae efe yn pechu y dau cymmaint: os yn ofer hefyd y tyngodd efe, † ni chyfiawnheir ef; o blegid fe a lenwir ei dŷ ef o ddialedd. [† *ni bydd difai.*]

[b Lef. 24. 15, 16.] 12 [b] Y mae ymadrodd wedi ei wisgo â marwolaeth: Duw a wnel na chaffer hwnnw yn etifeddiaeth Jacob, O herwydd hyn oll a fydd bell oddi wrth y rhai duwiol, ac nid ymdrybaeddant hwy mewn pechodau.

13 Nac arfer dy enau i anghymmesurwydd o dyngu: o blegid y mae yn hynny ymadrodd pechadurus.

14 Cofia dy dad a'th fam, pan fyddech yn eistedd ym mysg pendefigion; rhag it' anghofio ger eu bron hwynt, ac i ti wrth dy arfer ‡ ddihoeni, ac ewyllysio o honot na'th anesid, a melldithio o honot ddydd dy enedigaeth. [‡ *fod yn ffol.*]

15 [c] Y dyn a ymarfero â geiriau gwaradwyddus, ni chymmer addysg tra fyddo byw. [c 2 Sam. 16. 7.]

16 Dau fath sydd yn pechu llawer, a'r trydydd sydd yn dwyn digofaint. Meddwl brwd sydd fel y tân poeth, yr hwn ni ddiffydd nes ei ddarfod: Dyn godinebus yn ei gorph cnawdol, yr hwn ni phaid, hyd oni chynneuo efe dân.

17 [d] Y mae pob bara yn felus gan ddyn godinebus; ni phaid efe nes ei farw. [d Dihar. 9. 17.]

18 Dyn yn troseddu oddi wrth ei wely ei hun, gan ddywedyd yn ei galon, [e] Pwy sydd yn fy ngweled? y mae tywyllwch o'm hamgylch i, ac y mae parwydydd yn fy nghuddio, ac nid oes neb yn fy ngweled i: beth sydd arnaf fi ei ofn? ni chofia y Goruchaf fy mhechodau i. [e Job 24. 15. Esay 29. 15.]

19 Y cyfryw ddyn sydd yn ofni llygaid dynion yn unig, ac ni ŵyr fod llygaid yr Arglwydd Goruchaf yn ddeng mil eglurach nâ'r haul, yn canfod holl ffyrdd dynion, ac yn ystyried y rhannau cuddiedig.

20 Cyn crëu dim, pob peth oedd hysbys iddo ef; ac wedi eu gorphen, y mae efe yn canfod y cwbl.

21 [f] Yn heolydd y ddinas y dielir ar hwn, ac efe a ddelir lle ni's amheuodd efe. [f Lef. 20. 10. Deut. 22. 22.]

22 Felly y bydd y wraig sydd yn gadael ei gwr, ac yn ceisio etifeddiaeth o arall.

23 O blegid yn gyntaf, hi a anufuddhaodd i [g] gyfraith y Goruchaf; ac yn ail, hi a bechodd yn erbyn ei gwr; ac yn drydydd, hi a dorrodd briodas trwy odineb, ac a ddug blant o wr arall. [g Exod. 20. 14.]

24 Honno a ddygir allan yn y gynnulleidfa, ac fe fydd edrych ar ei phlant hi.

25 [h] Ni wreiddia ei phlant hi, ac ni ddwg ei changhennau hi ffrwyth. [h Doeth. 4. 3.]

26 Ei choffadwriaeth a ad hi yn felldith, ac ni ddilëir ei gwaradwydd hi.

27 A'r rhai a adewir a gânt wybod nad oes dim well nag ofn yr Arglwydd, na dim felusach nâ gwylied ar orchymynion Duw.

28 Gogoniant mawr yw dilyn Duw; a hir-hoedl yw cael dy dderbyn ganddo.

PEN. XXIV.

1 *Y mae doethineb yn ei chanmol ei hun; ac yn dangos ei dechreuad,* 4 *a'i thrigfa,* 13 *a'i gogoniant,* 17 *a'i ffrwyth,* 26 *a'i chynnyrch, a'i pherffeithrwydd.* [Tach. 6. B. S. Bartholomeus, B.]

DOETHINEB a'i canmyl ei hun, ac a orfoledda ym mysg ei phobl.

2 Hi a egyr ei genau ynghynnulleidfa 'r Goruchaf, ac a orfoledda ger bron ei allu ef.

3 Mi a ddaethum o enau 'r Goruchaf, ac a orchuddiais y ddaear fel † niwl. [† *cwmmwl.*]

4 [a] Mi a breswyliais mewn lleoedd uchel; [b] a'm gorsedd-faingc i sydd mewn colofn o gwmmwl. [a Job 22. 14. b Psal. 104. 3.]

5 Myfi a amgylchais gylch y nefoedd fy hunan, ac a rodiais yngwaelod y dyfnder.

6 Cefais feddiant o donnau'r môr, ac o'r holl dir, ac o bob pobl a chenedl.

7 A chyd â'r rhai hyn oll y ceisiais i orphwysdra; fel y cyfanneddwn yn etifeddiaeth rhyw un.

8 Yna y'm gorchymynodd Creawdydd pob peth, a'r hwn a'm creodd innau a wnaeth i'm pabell i orphwyso, ac a ddywedodd, Preswylia yn Jacob, a chymmer etifeddiaeth yn † Jerusalem.

† *Israel.*

9 [c] Efe a'm creodd i o'r dechreuad cyn y byd, ac ni phallaf fi byth.

c Dihar. 8. 22.

10 Mi a wasanaethais ger ei fron ef [d] yn y babell sanctaidd: ac felly y'm sicrhawyd i yn Sion.

d Exod. 31. 3.

11 [e] Gwnaeth efe hefyd i mi orphwyso yn y ddinas ‡ sanctaidd; ac yn Jerusalem y mae fy ngallu i.

e Psal. 132. 8. ‡ *anwyl.*

12 Ac mi a wreiddiais ym mysg pobl anrhydeddus, sef yn rhan yr Arglwydd a'i etifeddiaeth.

13 Fel cedyrn Libanus y dyrchafwyd fi, ac fel cypres-wŷdden ym mynyddoedd Hermon.

14 Fel palm-wŷdden § yn En-gadi y dyrchafwyd fi, ac fel planhigyn rhos yn Jericho, fel olew-wŷdden hardd mewn maes teg, ac fel plan-wŷdden || wrth ddyfroedd y cynnyddais.

§ *Neu, yng Nghades.* || *yn y dwfr.*

15 Fel Sinamwn, ac fel † swp o bêr-aroglau, ac megis Myrr dewisol, y rhoddais fy mher-arogl fel Galbanum, ac Onix, a Storax, ac fel tarth Thus yn [f] y babell.

† *aspalathus.* f Exod. 30. 34.

16 Mi a estynnais fy nghanghennau fel Terebinthus; a'm canghennau sydd ganghennau gogoniant a gras.

17 [g] Fel gwin-wŷdden y tarddodd perarogl o honof fi, a ffrwyth gogoniant a chyfoeth yw fy mlodau i.

g Ioan 15. 1.

18 Mam cariad da, ac ofn, a gwybodaeth, a gobaith sanctaidd, ydwyf fi: am hynny gan fy mod yn dragywyddol, myfi a roddir i'm holl blant, y rhai a ‡ enwyd ganddo ef.

‡ *ddewiswyd.*

19 Deuwch attaf fi, y rhai ydych yn fy chwennychu i, a llanwer chwi â'm ffrwythau i.

20 Canys [h] melusach yw fy nghoffadwriaeth nâ'r mel, a'm hetifeddiaeth nâ'r dil mel.

h Psal. 19. 10, 11.

21 Bydd ar y rhai a'm bwyttânt i newyn etto: ac ar y rhai a'm hyfant i y bydd syched etto.

22 Ni waradwyddir byth yr hwn a ufuddhao i mi; ac ni phecha y rhai a weithiant trwof fi.

23 Llyfr cyfammod y Goruchaf Dduw yw hyn oll, *sef* [i] y Gyfraith, yr hon a orchymynodd Moses i ni yn etifeddiaeth i gynnulleidfaoedd Jacob.

i Exod. 20. 1. a 24. 3. Deut. 4. 1. a 29. 1.

24 Na phellwch fod yn gryfion yn yr Arglwydd; fel y cadarnhao efe chwi, glynwch wrtho ef: canys yr Holl-alluog Arglwydd sydd Dduw yn unig, ac nid oes Iachawdwr ond efe.

25 Yr hwn â'i ddoethineb sydd yn llenwi pob peth fel [k] Pison, ac fel Tigris yn nyddiau y *ffrwythau* newydd.

k Gen. 2. 11.

26 Yr hwn sydd yn llenwi deall fel Euphrates, ac fel [l] yr Iorddonen yn amser cynhauaf.

l Jos. 3. 15.

27 Yr hwn sydd yn dangos addysg gwybodaeth fel goleuni, ac fel Geon yn nyddiau cynhauaf gwin.

28 Ni adnabu y dŷn cyntaf hi yn berffaith: felly nid olrhain y diweddaf hi allan.

29 O blegid y mae ei meddyliau hi yn helaethach nâ'r môr, a'i chyngor yn ddyfnach nâ'r dyfnder mawr.

30 Yr ydwyf fi doethineb fel § ffos yn dyfod o afon, ac fel aber yn myned i ardd.

§ *cainge.*

31 Mi a ddywedais, Dyfrhâf fy ngardd oreu, a mwydaf fy ngardd-wely yn dda: ac wele, fe aeth fy nant yn afon, a'm hafon yn fôr.

32 Myfi a wnaf i addysg oleuo fel y bore, ac a'i dangosaf hi ym mhell.

33 O herwydd myfi a dywalltaf athrawiaeth fel prophwydoliaeth, ac mi a'i gadawaf hi i'r holl oesoedd yn dragywyddol.

34 [m] Gwelwch nad trosof fy hunan y cymmerais i boen, eithr dros bawb a geisiant ddoethineb.

m Pen. 33. 17.

## PEN. XXV.

1 *Pa bethau sy brydferth, a pha bethau yn anhygar.* 6 *Beth yw coron henaint.* 7 *Pa bethau a wna un yn ddedwydd.* 13 *Nad oes dim waeth nâ gwraig ysgeler.*

Tach. 6. P. h. w. 13.

GAN dri pheth yr euthum i yn dêg, ac y codais i yn deg ger bron yr Arglwydd a dynion; [a] Cyttundeb brodyr, a chyfeillach cymmydogion, a gwr a gwraig yn cyttuno â'u gilydd.

a Gen. 13. 8. Psal. 133. 1.

2 Tri math *ar ddyn* sydd gas gan fy enaid i, ac yr ydwyf yn anfoddlon iawn i'w buchedd; Tlawd balch, a chyfoethog celwyddog, a henwr godinebus anghall.

Rhuf. 12. 19.

3 Oni chesglaist ti ddim yn dy ieuengctid, pa fodd y cei di ddim yn dy henaint?

4 Mor hardd yw barn ar rai penllwyd! a medru cyngor ar henafgwŷr!

5 Mor hardd yw doethineb henafgwŷr! a deall a chyngor mewn rhai anrhydeddus!

6 Coron henafgwŷr yw gwybod llawer, a'u gorfoledd yw ofn yr Arglwydd.

7 Naw peth a gyfrifais i yn ddedwydd yn fy nghalon, a'r degfed a draethaf fi â'm tafod; Dŷn yn cael llawenydd o'i blant, ac yn byw i weled cwymp ei elynion:

8 Gwŷn ei fyd yr hwn sydd yn cyttal â gwraig synhwyrol, a'r hwn [b] ni lithrodd ei dafod, ac ni wasanaethodd yr hwn sydd anaddas iddo:

b Pen. 14. 1. a 19. 16. Iago 3. 2.

9 Gwŷn ei fyd yr hwn a gafodd † synwyr, a'r hwn a draetho wrth rai a wrandawo.

† *gyfaill.*

10 Mor fawr yw'r hwn sydd yn cael doethineb! ond nid oes neb uwch law yr hwn sydd yn ofni yr Arglwydd.

11 Cariad yr Arglwydd sydd eglurach nâ dim: i ‡ ba beth y cyffelybir yr hwn sydd yn cael gafael arno ef.

‡ *bwy.*

12 Ofn yr Arglwydd yw dechreuad ei gariad ef; a ffydd yw dechreuad glynu wrtho ef.

13 *Dewis* bob § dyrnod, ond dyrnod *ar* y galon; a phob drygioni, ond drygioni gwraig;

§ *pla.*

14 A phob niweid, ond niweid caseion; a phob dial, ond dial gelynion.

15 Nid oes pen waeth nâ phen sarph, na digofaint waeth nâ digofaint gelyn.

16 [c] Gwell gennyf fi gyttal â llew, ac â draig, nâ chyttal â gwraig ddrwg.

c Dihar. 21. 19. a 25. 24.

17 Y mae drygioni gwraig yn newidio ei hwyneb hi, ac yn tywyllu ei hwynebpryd hi fel || arth.

|| *sachliain.*

18 Ynghanol ei chymmydogion yr eistedd ei gwr hi, ac efe a ucheneidia o'i anfodd, o'i hachos hi.

19 Bychan yw pob drwg wrth ddrwg gwraig; syrthied coelbren pechadur arni hi.

20 Fel y mae dringfa dywodlyd i draed henafgwr, felly y mae gwraig ddrwg ei thafod i wr distaw.

^d 1 Sam. 11. 2. Pen. 42. 12. 21 ^d Na thramgwydda wrth degwch gwraig, ac na chwennych wraig er trythyllwch.
22 Llawn dig a digwilydd-dra, a mawr waradwydd yw gwraig, os rhydd hi i'w gwr ei *gynhaliaeth.*
23 Gwraig ddrwg a wna galon isel, ac wyneb trist, ac archoll calon. Dwylaw gweiniaid, a gliniau rhyddion, yw 'r hon ni chynnorthwya ei gwr yn ei gyfyngdra.
^e Gen. 3. 6. 1 Tim. 2. 14. 24 Trwy ^e wraig y daeth dechreuad pechod, ac o'i phlegid hi yr ydym ni yn meirw oll.
25 Na ddod i ddwfr le i fyned trosodd, nac i wraig ddrwg ryddid i rodienna o amgylch.
26 Onid â hi wrth dy law di, torr hi oddi wrth dy gnawd; dod iddi *lythyr ysgar,* a gollwng *hi* yn rhydd.

## PEN. XXVI.

1 *Gwraig dda.* 4 *a chydwybod dda sy'n llawenychu dynion.* 6 *Peth erchyll yw gwraig ysgeler.* 13 *Gwragedd da, a drwg.* 28 *Y tri pheth blin.* 29 *Na's gall marsiandwŷr fod yn ddibechod.*

^a Dihar. 31. 10, &c. GWYN ei fyd gwr ^a y wraig dda: canys dyblir rhifedi ei ddyddiau ef.
† *rinweddol.* 2 Gwraig † rymmus a lawenycha ei gwr: ac efe a gyflawna flynyddoedd ei fywyd mewn heddwch.
^b Dihar. 18. 22. 3 ^b Rhan dda yw gwraig dda, ac yn rhan y rhai sydd yn ofni 'r Arglwydd y rhoddir hi.
4 Pa un bynnag fyddo dŷn ai tlawd ai cyfoethog, os bydd ganddo galon dda at yr Arglwydd, efe a orfoledda bob amser yn wyneb siriol.
5 Rhag tri pheth yr arswydodd fy nghalon i, a rhag y pedwerydd yr ofnais yn ddirfawr; ‡ Enllib dinas, ac ymgasgliad torf afreolus, a gau-dystiolaeth; blinach nag angau yw y rhai hyn oll:
‡ *Anair.* 6 Baich calon a galar yw gwraig yn dal eiddigedd wrth wraig, a ffrewyll y tafod yn cyfrannu â phawb.
§ *Iau yn siglo yma ac acw.* 7 § Iau ychen yn siglo yw gwraig ddrwg; ac y mae ei pherchennog megis yn ymaflyd mewn ysgorpion.
8 Digter mawr yw gwraig feddw ac ynfyd; ac ni chela hi ei gwarth ei hun.
9 Putteindra gwraig a adweinir wrth ddyrchafiad *ei* llygaid a'i hamrantau.
^c Pen. 42. 11. 10 Dod gadwraeth sicr ^c ar ferch anhywaith, rhag os caiff hi ryddid, iddi ei *cham* arfer ei hun.
11 Gwylia ar y llygad digywilydd; ac na ryfedda o's gwna hi gam â thi.
12 Fel yr egyr fforddol sychedig ei safn pan gaffo ffynnon; felly yr yf hi o bob dwfr cyfagos, ac yr eistedd wrth bob
‖ *gwrych.* ‖ pawl, ac a egyr ei chawell yn erbyn pob saeth.
13 Gras gwraig a wna ei gwr yn hyfryd; a'i gwybodaeth hi a wna ei esgyrn ef yn freision.
14 Rhodd yr Arglwydd yw gwraig ddistaw garedig: ac nid oes cyd-werth i enaid a gymmerodd addysg.
15 Gras ar ras yw gwraig gywilyddgar a ffyddlon: ac nid oes dim a ddichon gydbwyso ei diwair feddwl hi.
† *yn y nefoedd uchel.* 16 Fel y mae'r haul yn codi † yn uchelleoedd yr Arglwydd, felly y mae tegwch
‡ *yn trefnu ei thŷ.* gwraig dda ‡ yn llywodraethu ei thŷ.
17 Fel canwyll yn goleuo yn y canhwyllbren sanctaidd, felly y mae tegwch pryd mewn llawn oedran.

18 Fel colofnau aur mewn morteisiau arian, felly y mae traed prydferth gyd â dwyfron ddianwadal.
19 Fy mab, cadw flodeu dy ieuengctid yn iach, ac na ddod dy gryfder i ddieithriaid.
20 Wedi it' gael rhan ffaeth o'r maes oll, hau dy had dy hun, gan obeithio yn dy fonedd dy hun.
21 Felly dy hiliogaeth, yr hon a adawech, a fawrhëir, a hyder ganddynt ar eu bonedd.
22 Gwraig ar werth a gyfrifir ei bod § un § *fel poeryn.*
wedd a hwch: a'r briod a gyfrifir yn dŵr yn erbyn marwolaeth i'w gwr.
23 Gwraig annuwiol a roddir yn rhan i wr anwir: a'r dduwiol a roddir i'r hwn sydd yn ofni yr Arglwydd.
24 Gwraig anonest a ddïystyra ammharch; eithr merch onest a barcha ei gwr.
25 Megis ci y cyfrifir gwraig ddigywilydd: a'r gywilyddgar a ofna 'r Arglwydd.
26 Y wraig sydd yn perchi ei gwr ei hun, a wêl pawb yn ddoeth: a'r hon a'i hammharcho ef yn ei balchder, a gydnebydd pawb ei bod yn annuwiol.
27 Am wraig ‖ floeddgar a siaradus, yr ‖ *safnrhuth.*
edrychir i darfu gelynion.
28 Am ddau beth y mae fy nghalon yn athrist, ac am y trydydd y daeth arnaf ddigter; Bod rhyfelwr yn anghenus trwy eisiau,
a ^d dirmygu gwŷr synhwyrol, ac ^e un yn ^d Preg. 9. 15.
dychwelyd oddi wrth gyfiawnder at bechod:
yr Arglwydd a'i parottoa ef i'r cleddyf. ^e Esec. 18. 24.
29 ^f Anhawdd yw i farsiandwr ymgadw ^f Pen. 27. 2.
rhag gwneuthur cam; ac ni chyfiawnhëir tafarnwr oddi wrth bechod.

## PEN. XXVII.

1 *Pechodau wrth brynu a gwerthu.* 7 *Ein hymadrodd, a ddengys beth sy ynom ni.* Tach. 7. B.
16 *Trwy ddatguddio ei gyfrinach y collir cydymmaith.* 25 *A gloddio bwll a syrth yndd.*

O Achos ^a peth † cyffredinol y pechodd ^a Dihar. 18. 21.
llawer: a'r hwn sydd ^b yn ceisio cael † *bychan.*
amldra, a drŷ ei olwg ymaith. ^b Dihar. 23. 4.
2 Rhwng cysswllt cerrig y gyrrir hoel; a 1 Tim. 6. 9.
rhwng prynu a gwerthu y glŷn pechod.
3 Oni ddeil dŷn yn ofn yr Arglwydd yn ddiwyd, ebrwydd y dinystrir ei dŷ ef.
4 Wrth ysgwyd y gogr yr erys yr amhuredd; felly brynti dŷn yn ei ymresymmiad ef.
5 ^c Y ffwrn sydd yn profi llestri pridd; ^c Dihar. 27. 21.
felly y mae profedigaeth dŷn yn ei ymresymmiad ef.
6 ^d Ei ffrwyth a ddengys goleddiad y pren: ^d Mat. 7. 17
felly y gwna traethu'r meddwl ynghalon dŷn.
7 Na chanmol wr cyn clywed ei ymadrodd: o blegid dyna brofedigaeth dŷn.
8 Os dilyni gyfiawnder, ti a'i goddiweddi hi, ac a'i gwisgi hi fel gwisg laes ogoneddus.
9 Adar a ‡ arhosant gyd â'u cyffelyb, a'r ‡ *gyrchant at eu.*
gwirionedd a drŷ at y rhai a weithiant trwyddi.
10 Fel y cynllwyn llew i'r helfa, felly y gwna pechod i'r rhai a weithredant ddrygioni.
11 Traethiad y duwiol sydd bob amser mewn doethineb; a'r anghall a newidia fel y lleuad.
12 Ym mysg yr ansynhwyrol cadw yr amser, a thyred yn fynych i fysg y rhai pwyllog.
13 Baich yw traethiad ffyliaid, a'u difyrrwch fydd mewn trythyllwch pechod.

e Pen. 23. 9, 10. 14 e Ymadrodd yr hwn a dyngo lawer, a wna i'r gwallt sefyll; ac ymsywyn y cyfryw a wna gau clustiau.

15 Ymsywyn beilchion a bair gelanedd; a'u difenwad hwynt sydd flin ei glywed.

16 Yr hwn sydd yn datguddio cyfrinach a gollodd ei gred, ac ni chaiff efe gyfaill wrth ei fodd.

17 Hoffa *dy* gyfaill, a gwna yn ffyddlon
f Pen. 22. 22. ag ef: eithr f os datguddi di ei gyfrinach ef, na ddilyn ar ei ol ef mwyach.

18 O blegid megis y difethodd dŷn ei elyn, felly y collaist ti gariad dy gymmydog.

19 Ac fel pe gollyngai gwr aderyn o'i law, felly y gollyngaist ti dy gymmydog, ac ni's dèli ef drachefn.

20 Na chanlyn ef: o blegid y mae efe ym mhell, ac y mae fel iwrch wedi dïangc allan o'r fagl.

21 O blegid fe a ellir iachâu archoll, ac y mae cymmod am ddifenwi: eithr yr hwn a ddatguddiodd gyfrinach a gollodd *ei* obaith.

g Dihar. 10. 10. 22 Y mae g yr hwn sydd yn amneidio â'i
† *buriadu.* lygad yn † adeiladu drwg; a'r hwn a'i hadwaeno ef a gilia oddi wrtho ef.

23 Efe a wna ei enau yn fwyn yn dy ŵydd di, a rhyfedd fydd ganddo ef dy ymadrodd
‡ *fingamma.* di: wedi hynny efe a ‡ drŷ ei chwedl, ac a fwrw fai ar dy ymadrodd di.

24 Llawer o bethau a gaseais i, ac ni welwn ddim tebyg iddo ef: yr Arglwydd hefyd a'i casâ ef.

25 Y neb sydd yn taflu carreg i fynu, sydd yn ei thaflu hi ar ei ben ei hun: a dyrnod twyllodrus a wna archollion.

h Psal. 7. 15. Dihar. 26. 27. Preg. 10. 8. 26 h Yr hwn a gloddio ffos a syrth ynddi hi; i a'r hwn a osodo fagl a ddèlir â hi.

27 Yr hwn a wnelo ddrwg, arno ef y disgyn, ac ni chaiff efe wybod o ba le y mae
i Psal. 9. 15. a 35. 8. yn dyfod iddo.

k Deut. 32. 35. Rhuf. 12. 19. 28 Gwatwar a gwaradwyddo sy'n eiddo 'r beilchion: eithr k dïaledd a gynllwyn iddynt hwy fel llew.

29 Mewn magl y dèlir y rhai sydd yn llawen ganddynt syrthio o'r rhai duwiol; a chyn eu marwolaeth y treulia gofid hwynt.

30 Digofaint a llid sydd ffiaidd, a'r dŷn pechadurus a'u caiff hwy ill dau.

## PEN. XXVIII.

Tach. 7. P. 1 *Yn erbyn dïal,* 8 *a chynnen,* 10 *a llid,* 15 *a drug-absen.*

a Deut. 32. 35. Rhuf. 12. 19. a Y Dïalwr a gaiff ddïaledd gan yr Arglwydd; ac efe gan gadw a geidw ei bechodau ef mewn cof.

b Mat. 6. 14. Marc 11. 25. Luc 6. 37. 2 b Maddeu i'th gymmydog y cam a wnaeth efe â thi; ac yna pan weddïech di y maddeuir dy bechodau dithau.

c Edrych Mat. 18. 23, &c. 3 c Dŷn a ddeil ddig wrth ddyn, ac a gais efe gan yr Arglwydd feddyginiaeth?

4 Ni thrugarhâ efe wrth ddyn cyffelyb iddo ei hun, ac a ymbil efe dros ei bechodau ei hun?

5 Os efe nid yw ond cnawd a ddeil ddig, pwy a ymbil am faddeuant o'i bechodau ef?

6 Cofia 'r diwedd, a phaid â dàl galanasdra; *cofia* lygredigaeth a marwolaeth, ac aros wrth y gorchymynion.

7 Cofia y gorchymynion, ac na ddàl ddig wrth dy gymmydog. *Cofia* gyfammod y Goruchaf, ac nac edrych ar anwybodaeth.

d Pen. 8. 1. 8 d Ymgadw rhag cynnen, a thi a wnei yn llai dy bechodau; o blegid gwr digllon a gynneu gynnen.

9 Gwr pechadurus a dralloda gyfeillion, ac a wna ymryson rhwng rhai heddychol.

10 e Fel y byddo defnydd y tân, felly y e Dihar. 26. 21.
llysg efe; ac fel y byddo cryfder dŷn, y bydd ei ddigofaint ef; ac yn ol cyfoeth dŷn y cyfyd ei lid ef; a pho cryfaf fo y rhai sy'n ymryson, mwyaf y cynneu eu llid hwynt.

11 Y mae ymryson prysur yn cynneu tân; ac ymladd prysur yn tywallt gwaed.

12 Os chwythi di wreichionen, hi a gynneu; ond os poeri di arni hi, hi a ddiffydd: ac y mae'r ddau yn dyfod o'r genau.

13 f Melldithiwch yr athrodwr a'r dau- f Pen. 21. 18.
dafodiog: o blegid llawer un heddychlon a ddifethasant hwy.

14 Tafod dau-ddyblyg a gynhyrfodd lawer, ac a'u gwasgarodd hwynt o genedl i genedl: dinasoedd cedyrn a ddinystriodd efe hefyd, a theiau pendefigion a ddifethodd efe.

15 Tafod dau-ddyblyg a fwriodd wragedd rhinweddol allan, ac a'u diddymmodd hwynt o'u llafur.

16 Yr hwn a wrandawo arno ef ni chaiff fyth orphwysdra, ac ni phreswylia yn llonydd.

17 Dyrnod ffrewyll *a* wna glais; a dyrnod tafod a dyrr yr esgyrn.

18 Llawer a syrthiasant o herwydd min y cleddyf: ond nid cymmaint ag a syrthiasant o blegid y tafod.

19 Gwŷn ei fyd yr hwn a amddiffynnwyd rhagddo, ac nid aeth yn ei † ddigofaint ef; † *acnwyn.*
yr hwn ni thynnodd ei iau ef, ac ni rwymwyd â'i rwymau ef:

20 O blegid iau haiarn yw ei iau ef, a rhwymau pres yw ei rwymau ef.

21 Marwolaeth ddrwg yw ei farwolaeth ef; a mwy buddiol yw y bedd nag ef.

22 Ni chaiff efe lywodraeth ar y rhai duwiol; ac ni losgir hwynt yn ei fflam ef.

23 Y rhai sydd yn gadael yr Arglwydd a syrthiant iddo; ac ynddynt hwy y llysg efe heb ddiffoddi: efe a yrrir arnynt hwy fel llew, ac fel llewpard y difa efe hwynt.

24 Edrych ar gau o honot dy dyddyn â drain, a rhwym i fynu dy arian a'th aur:

25 A phwysa dy eiriau mewn clorian, a gwna i'th enau ddôr a chlo.

26 A gochel rhag llithro o honot trwyddo, a rhag syrthio o honot o flaen y cynllwynwr.

## PEN. XXIX.

1 *Rhaid i ni ddangos trugaredd, a rhoi ben-* Tach. 8. B S. Bartholomeus, P
*thyg.* 4 *Na ddylai'r benthygiwr dwyllo mo'r hwn a fenthygio iddo.* 9 *Dyro elusen.* 14 *Gwr da ni cholleda ei feichiau.* 18 *Mor enbyd yw mechnïaeth.* 22 *Gwell yw aros gartref, nag ymdeithio mewn lle arall.*

YR hwn sydd drugarog, sydd yn rhoddi echwyn i'w gymmydog; a'r hwn sydd yn cadarnhâu ei law ef, sydd yn cadw y gorchymynion.

2 a Dod echwyn i'th gymmydog yr amser a Deut. 15. 8.
y byddo rhaid iddo, a thâl drachefn i'th Mat. 5. 42.
gymmydog mewn amser. Luc 6. 35.

3 Cadw dy air, a gwna yn ffyddlon ag ef, a thi a gei wrth dy raid bob amser.

4 Llawer a gyfrifasant echwyn fel peth wedi ei gael, ac a barasant flinder i'r rhai a'u helpiasant hwy.

5 Y mae efe yn cusanu ei law ef, hyd oni dderbynio; ac efe a ostwng ei leferydd am

arian ei gymmydog: ond yn amser talu efe a oeda yr amser, ac a rydd atteb hwyrfrydig, ac a wna esgus o'r amser.

† *os ffynna gandda.* 6 Ac † os dichon efe, prin y caiff efe yr hanner, ac efe a gyfrif hynny fel peth wedi ei gael *ar y ffordd*: os amgen, efe a'i difuddiodd o'i arian, ac a'i cafodd ef yn elyn heb achos. Efe a dâl iddo felldithion a difenwad; efe a dâl iddo ammharch yn lle anrhydedd.

7 Llawer o herwydd hynny a naccasant fenthyccio am ddrygwaith rhai eraill, gan ofni eu difuddio.

8 Er hynny bydd ddioddefgar wrth wr tlawd, ac nac oeda dy elusen iddo.

b Deut. 15. 11. 9 Cynnorthwya'r tlawd er mwyn b y gorchymyn, ac na thro ef ymaith yn ei angen.

10 Coll dy arian er mwyn cyfaill neu c Pen. 20. 30. frawd, ac c na chuddia hwynt dan garreg i'w colli.

d Dan. 4. 27. 11 d Gosod dy drysor yn ol gorchymyn y Mat. 6. 20. Goruchaf, ac e efe a fydd mwy buddiol i Luc 11. 41. ti nag aur.

a 12. 33. Act. 10. 4. 1 Tim. 6. 18, 19. 12 f Cau dy elusen yn dy gelloedd; a hi a'th wared di o bob niweid.

e Mat. 19. 21. 13 Hi a ymladd drosot ti yn well nâ tharian cryf, ac nâ gwayw-ffon gadarn, yn erbyn y gelyn.

f Tobit 4. 8, 9, 10. Pen. 17. 22. 14 Gwr da a fechnïa dros ei gymmydog; a'r hwn a gollodd gywilydd-dra a'i gâd ef.

15 Na anghofia garedigrwydd meichiau; o blegid efe a'i rhoddes ei hun drosot ti.

16 Pechadur a anrheithia feichiau da ei gyfiwr;

17 A'r hwn sydd o feddwl anffyddlon, a ad mewn perygl yr hwn a'i gwaredodd ef.

18 Mechnïaeth a ddifethodd lawer un goludog, ac a'u siglodd hwynt fel tonn o'r môr. Hi a wnaeth i wŷr cedyrn fudo allan o'u tai, fel y crwydrasant hwy ym mysg cenhedloedd dieithr.

19 Y pechadur a droseddo orchymynion yr Arglwydd, a syrth mewn mechnïaeth; a'r hwn a ddilyn achosion rhai eraill er gwobr, a syrth mewn cyfraith.

20 Cynnorthwya dy gymmydog yn ol dy allu, a gwylia arnat dy hun rhag syrthio o honot.

g Pen. 39. 26. 21 g Y peth pennaf o fywyd dŷn, yw dwfr, a bara, a dillad, a thŷ yn gorchuddio gwarth.

22 Gwell yw bywyd y tlawd mewn bwth gwael, nâ gwleddau dainteithiol mewn tŷ un arall.

h 1 Tim. 6. 6. 23 Am fawr a bychan h bydd foddlon, ac ni chei di glywed edliw dy dŷ.

24 Bywyd drwg yw myned o dŷ i dŷ: lle yr ymdeithi di, ni elli agoryd dy enau.

25 Ti a letteui, ac a ddiodi rai annïolchgar, ac a gei glywed chwerwder hefyd.

26 Tyred, ymdeithydd, gwna'r bwrdd yn drefnus, ac od oes dim gennyt, dod i mi fwyd.

27 Tyred allan, ymdeithydd, o flaen yr anrhydeddus: y mae yn rhaid i mi wrth fy nhŷ, y mae fy mrawd yn lletteua gyd â mi.

28 Trwm yw hyn i'r hwn sydd ganddo synwyr; edliw y tŷ, a gwaradwyddo y benthygiwr.

PEN. XXX.

Tach. 8. P. h. w. 18. 1 *Da yw ceryddu plant,* 7 *ac nid eu llochi, a chadw moethau iddynt.* 14 *Gwell iechyd nâ golud.* 22 *Tristwch a fyrhâ'r iechyd a'r einioes.*

YR hwn a sydd yn caru ei fab a'i mynych-ffrewylla ef, fel y caffo lawenydd o hono ef yn y diwedd. a Dihar. 13. 24. a 23. 13.

2 Yr hwn a ddysgo ei fab a gaiff lawenydd o hono, ac a orfoledda o'i achos ef ym mysg ei † gydnabod. † *gerainr.*

3 Yr hwn sydd b yn dysgu ei fab a ddigia b Deut. 6. 7. ei elynion; ac a orfoledda o'i blegid ef o flaen ei gyfeillion.

4 Er marw ei dad ef, etto y mae efe megis heb farw; am adael o hono ef ar ei ol un cyffelyb iddo ei hun.

5 Yn ei fywyd efe c a'i gwelodd ef, ac a c Psal. 128. 3, 6. fu lawen o'i blegid: ac yn ei ddiwedd ni bu efe athrist.

6 Efe a adawodd un i ddïal yn erbyn ei elynion, ac un i dalu diolch i'w gyfeillion.

7 Yr hwn sydd yn mawrhâu gormod ar ei fab, a rwym ei archollion ef, ac ar bob bloedd te gythryblir ei ymysgaroedd ef.

8 March heb ei ddofi a â yn ben-galed; a mab a adawer iddo ei hun a â yn anllywodraethus.

9 Llocha dy fab, ac efe a'th ddychryna di: chwarae ag ef, ac efe a'th dristâ di.

10 Na chyd-chwardd ag ef, rhag gofidio o honot gyd ag ef, a gwasgu dy ddannedd yn y diwedd.

11 d Na ddod iddo ef ryddid yn ei d Pen. 7. 23. ieuengctid, ac nac edrych heibio i'w anwybodaeth.

12 Gostwng ei warr ef yn ei ieuengctid, a chûr ei ystlys tra fyddo efe blentyn, rhag iddo fyned yn ben-galed, ac anufuddhâu i ti, a bod yn ofid i'th galon.

13 Addysga dy fab, a ‡ chymmer boen ‡ *dâl ef mewn gwaith.* gyd ag ef, fel na byddo ei anweddeidd-dra ef yn dramgwydd i ti.

14 Gwell yw'r tlawd iach a chryf, nâ'r cyfoethog ciwyfus ei gorph.

15 Iechyd a chyfansoddiad da sydd well nâ phob aur; a chorph cryf nâ golud anfeidrol.

16 Nid oes gyfoeth gwell nâ iechyd corph: ac nid oes llawenydd gwell nâ llawenydd calon.

17 Gwell yw marwolaeth nag einioes chwerw, neu nychdod parhaus.

18 Dainteithion wedi eu tywallt ar safn gauad, sydd fel seigiau o fwyd wedi eu gosod ar fedd.

19 e Pa fudd a wna'r offrwm i eilun? o e Bel a'r Ddraig 7. blegid ni fwytty efe, ac ni arogla: felly y mae yr hwn a § erlidir gan yr Arglwydd. § *gyspud-dir.*

20 Y mae efe yn gweled â'i lygaid, ac yn tuchan, f fel dispaidd yn cofleidio morwyn, f Pen. 20. 4. ac yn ucheneidio.

21 g Na ddod dy enaid i dristwch ac g Dihar. 12. 25. a 15. 13. a 17. 22. na chystuddia dydi dy hun yn dy gyngor dy hun.

22 Llawenydd calon yw einioes dŷn, a gorfoledd gwr sydd yn estyn ei ddyddiau.

23 Hoffa dy enaid dy hun, a chysura dy galon; a gyrr dristwch ym mhell oddi wrthyt: o blegid tristwch a laddodd lawer, ac nid oes fudd ynddo.

24 Cynfigen a dig sydd yn lleihâu dyddiau; a gofal sydd yn dwyn henaint cyn yr amser.

25 Calon ‖ hoyw a da, a ofala am ei ‖ *fonc-ddigrifdd.* bwyd a'i luniaeth.

PEN. XXXI.

1 *Chwant golud.* 12 *Cymmedrolder a gormodedd o fwyd a diod.* Tach. 9. B

[a] 1 Tim. 6. 9. 10. GWYLIO [a] am olud a wna i'r cnawd
ddihoeni; a gofal am dano a luddia
gwsg.
2 Gofalus wylio a lestair heppian; a chlefyd
trwm a dyrr gwsg.
3 Y goludog sydd yn cymmeryd poen yn
casglu cyfoeth; ac yn ei esmwythdra efe a
lenwir â'i ddanteithion.
4 Y mae'r tlawd yn cymmeryd poen yn
ei dlodi; a phan beidio, tlawd yw efe.
5 Ni chyfrifir yn gyfiawn yr hwn a hoffo
aur; a'r hwn a ddilyno lygredigaeth a gaiff
ei wala o hono.
[b] Pen. 8. 2. 6 [b] Llawer a ddifethwyd o achos aur; ac
o'u blaen yr oedd eu dinystr.
7 Pren tramgwydd yw efe i'r rhai a
aberthant iddo; ac wrtho ef y dèlir pob
angail.
[c] Luc 6. 24. 8 [c] Gwŷn ei fyd y goludog a geir yn
ddifai, ac nid aeth ar ôl aur.
9 Pwy yw efe? a nyni a'i galwn ef yn
happus: canys pethau rhyfedd a wnaeth
efe ym mysg ei bobl.
10 Pwy a brofwyd trwy *yr aur* hwn, ac
a gafwyd yn berffaith? ac efe a gaiff fod
yn orfoleddus. Pwy a allodd bechu, ac ni's
pechodd? ac a allodd wneuthur drygioni,
ac ni's gwnaeth?
11 Am hynny y sicrhêir ei ddâ ef; a'r
gynnulleidfa a fynega ei elusenau ef.
12 Pan eisteddych di ar fwrdd helaeth,
[d] Psal. 141. 4. [d] na rytha dy gèg arno, ac na ddywed, Mae
Dihar. 23. llawer o fwyd arno.
1, 2, 3, 4. 13 Cofia mai peth drwg yw [e] drwg-lygad:
[e] Mat. 6. a pha beth a wnaed waeth nâ llygad? am
23. a 20. 15. hynny yr wyla efe wrth bob achlysur.
14 Nac estyn dy law i bob lle yr edrycho
efe, ac na wthia hi gyd ag ef i'r ddysgl.
15 Barna dy gymmydog wrthyt dy hun;
a bydd bwyllog ym mhob peth.
† yn wedduiad. 16 Bwytta † fel dŷn yr hyn a osoder o'th
flaen; ac na fydd wangcus, rhag dy gasâu.
17 Paid yn gyntaf, o herwydd medrus-
rwydd; ac na fydd anniigonol, rhag gweled
bai arnat.
[f] Pen. 37. 9. 18 [f] Pan eisteddych ym mysg llawer, nac
estyn dy law yn gyntaf.
19 Digon yw ychydig iawn i'r medrus;
ac ni bydd yn fyrr ei anadl ar ei wely.
20 Cysgu yn iachus a gaiff yr hwn a
fwyttao yn gymmesurol: efe a gyfyd yn
fore a'i synwyr ganddo. Eithr y gwr ni
ddigoner a gaiff boen, anhunedd, a geri, a
chnofeydd y bol.
21 Ac os gorfu arnat mewn gwledd fwytta,
cyfod o'r canol, bwrw, ac ymesmwythâ.
22 Clyw fi, fy mab, ac na ddïystyra fi, ac
yn y diwedd ti a gei fy ngeiriau i *yn wir:*
Yn dy holl waith bydd esgud, ac ni ddi-
gwydd un clefyd i ti.
[g] Dihar. 22. 23 [g] Gwefusau *llawer* a fendithiant yr
hael o'i fara; *a chredadwy fydd* tystiolaeth
am ei ddaioni ef.
24 Yr *holl* ddinas a rwgnach yn erbyn yr
anhael o'i fara; a thystiolaeth am ei ddryg-
ioni ef nid amheuir.
[h] Esay 5. 22. 25 Na ddangos dy [h] wroldeb mewn
gwin: [i] canys gwin a ddifethodd lawer.
[i] Judeth 13. 2, 8. 26 Y ffwrn a brawf y min wrth ei drochi;
felly y gwna gwin galon y beilchion wrth
feddwdod.
[k] Psal. 104. 15. 27 [k] Gwin sydd gystal a bywyd i ddyn,
Dihar. 31. os yfir ef yn gymmesurol. Pa fywyd gan
6. 7. hynny sydd i'r dŷn sy heb win; canys i
lawenychu dynion y crëwyd ef.
28 Llawenydd calon, a hyfrydwch medd-
wl, yw'r gwin a yfer mewn pryd, yn gym-
mesurol.
29 Eithr gwin, pan yfer gormod o hono,
a bair chwerwder meddwl, ymgecreth, a
chynhennu.
30 Meddwdod yr angall a chwanega
ddig, oni thramgwyddo; a wanhâ gryfder,
ac a bair archollion.
31 Na cherydda dy gymmydog wrth yfed
gwin, ac na ddirmyga ef pan fyddo llawen:
na ddywed air gwaradwyddus wrtho, ac na
phwysa arno ef, trwy ei gymmell i *yfed.*

## PEN. XXXII.

1 *Dyled y neb a fo bennaf mewn gwledd.* Tach. 9. P
*14 Ofn Duw. 18 Cyngor. 20 Ffordd
arw, a ffordd wastad. 13 Nac ymddiried
i neb, ond i ti dy hun, ac i Dduw.*

OS gwnaed di yn llywodraethwr ar y
wledd, nac ymddyrchafa, eithr bydd
iddynt megis un o honynt hwy: gofala
drostynt, ac felly eistedd i lawr.
2 Ac wedi i ti wneuthur dy swydd, cym-
mer dy le, fel y byddych lawen gyd â
hwynt, ac y derbyniech goron am dy iawn-
lywodraeth ar y wledd.
3 Lletara di yr hwn wyt hynaf; canys
hyn sydd weddus i ti; eithr trwy ddiwyd-
rwydd gwybodaeth, ac na rwystra gerdd.
4 [a] Na thywallt ymadrodd † pan fyddo [a] Preg. 3. 7.
amser i wrando; ac na ddangos dy ddoe- Pen. 20. 7.
thineb allan o amser.
5 Megis sel o garbwncl mewn gwisg † lle byddo y cerddor.
o aur, yw cydsain music wrth gymmhaeth
gwin.
6 Megis sel o smaragdus mewn boglyn o
aur, yw melusdra music gyd â'r gwin melus.
7 Ti wr ieuangc, llefara pan fyddo rhaid,
a hynny yn brin, pan y'th ofynner ddwy-
waith.
8 Gwna ddiben ar dy ymadrodd: *cyn-
nwys* lawer yn ychydig eiriau: bydd me-
gis un a gwybodaeth ganddo, ac yn ddistaw
hefyd.
9 [b] Nac ymgystadla ym mysg gwŷr mawr: [b] Iob 32. 6.
ac na siarad lawer lle y byddo henafgwyr.
10 O flaen taran yn y màn y daw mellten,
ac o flaen y lledneis yr â ffafr.
11 Cyfod mewn pryd, ac na fydd olaf:
rhed i'th dŷ, ac na ‡ segura. ‡ *oeda*
12 Yno chwarae, a gwna dy feddwl; ond
nid mewn pechod, nac ymadrodd balch.
13 A bendithia am hyn yr hwn a'th
wnaeth, ac a'th lanwodd â'i bethau da.
14 Y neb a ofna yr Arglwydd a dderbyn
ei addysg ef: a'r hwn a foregodo *i'w geisio
ef* a gaiff ewyllys da.
15 Yr hwn a geisio'r Ddeddf a lenwir â
hi; a'r rhagrithiwr a dramgwydda wrthi hi.
16 Y rhai a ofnant yr Arglwydd a gânt
farn *dda,* a chyfiawnderau a gynneuant fel
goleuni.
17 Y pechadur a wrthyd gerydd, ac a
gaiff esgus wrth ei ewyllys ei hun.
18 Gwr *a gymmero* gyngor ni ddïystyra
ddeall: ond y dieithr a'r balch ni arswyda
gan ofn; ie wedi iddo wneuthur *peth* o
hono ei hun heb gyngor.
19 Na wna ddim heb gyngor, ac wedi
gwneuthur, nac edifarhâ.
20 Na ddos ar hyd ffordd y gellych
syrthio arni, ac na thramgwydda ym mysg
y cerrig.
21 Na fydd hyderus ar ffordd ddirwystr.
22 Gwylia dy blant dy hun hefyd.


Y y

c Rhuf. 14. 5. 23 c Ym mhob gweithred dda ymddiried
i'th enaid dy hun; canys hyn yw cadw y
gorchymynion.
24 Yr hwn a gredo yn yr Arglwydd a
ddisgwyl ar y gorchymyn; a'r hwn a
† *nmad.* obeithio ynddo ef, ni bydd dim † gwaeth
iddo.

## PEN. XXXIII.

Tach. 10. B. 1 *Mor ddiogel yw'r hwn a ofno'r Arglwydd.* 2 *Y doeth, a'r annoeth.* 7 *Amseroedd a phrydiau oddi wrth Dduw y maent.* 10 *Bod dynion yn llaw Duw, fel y mae'r pridd yn llaw'r crochenydd.* 18 *Edrych arnat dy hun yn bennaf.* 24 *Ynghylch gweision.*

NI ddigwydd niweid i'r hwn a ofno'r
Arglwydd, eithr mewn profedigaeth
efe a'i gwared ef drachefn.
2 Nid cas gan y doeth y gyfraith; ond
yr hwn a ragrithio *sydd* megis llong mewn
tymmestl.
3 Dŷn synhwyrol a ymddiried yn y gyfraith;
a'r gyfraith sydd ffyddlon megis
* Neu, megis ymofyn-niad Urim. † Oracl iddo yntau.
4 Parottoa dy ymadrodd, ac felly y'th
wrandewir: ‡ bydd sicr o'r peth, ac yna
‡ rhwym a ddysg. atteb.
5 § Calon a y ffol sydd fel olwyn mên;
§ Ymysgaroedd. a'i feddyliau sydd fel echel dro.
a Pen. 21. 14. 6 Megis ystalwyn yw cyfaill gwatwarus;
yn gweryru dan bawb a'r a eisteddant arno.
7 Paham y mae diwrnod yn rhagori ar
ddiwrnod, gan fod cwbl oleuni pob diwrnod
yn y flwyddyn yn dyfod oddi wrth yr haul?
8 Trwy wybodaeth yr Arglwydd y gwahanwyd
hwynt; ac efe a newidiodd yr amserau
a'r gwyliau.
9 *Rhai* o honynt hwy a wnaeth efe yn ddyddiau
uchel, ac a'u sancteiddiodd *hwynt;* ac
‖ yn nifer dyddiau y flwyddyn. efe a osododd *rai* o honynt hwy ‖ yn rhifedi
y dyddiau.
10 A phob dŷn oll sydd o'r llawr; ac o'r
b Gen. 1. 27. a 2. 7. ddaear y crewyd b Adda.
11 Yr Arglwydd trwy fawr wybodaeth a'u
neillduodd hwynt, ac a wnaeth eu ffyrdd
hwy yn amryw.
12 Rhai o honynt hwy a fendithiodd, ac
a ddyrchafodd efe, a *rhai* o honynt hwy a
sancteiddiodd, ac a nesaodd efe atto ei hun:
*rhai* o honynt hwy a felldithiodd, ac a ddarostyngodd
† *sefyllfaoedd.* efe, ac a drodd allan o'u † lleoedd.
13 c Megis *y mae*'r clai yn llaw y crochenydd,
c Esay 45. 9. a 64. 8. Jer. 18. 6. Doeth. 15. 7. 8. Rhuf. 9. 20, 21. i'w lunio wrth ei ewyllys ef; felly
y mae dŷn yn llaw yr hwn a'i gwnaeth ef, i
roddi iddo fel y gwelo efe yn dda.
14 Y mae da wedi ei osod yn erbyn drwg,
ac einioes yn erbyn angau: felly y mae y
duwiol yn erbyn y pechadur, a'r pechadur
yn erbyn y gwr duwiol.
15 Felly edrych ar holl weithredoedd y
d Pen. 42. 24. Goruchaf, d bob yn ddau y maent hwy, y
naill yn erbyn y llall.
16 Minnau a ddeffroais yn ddiweddaf
fel un yn lloffa ar ol cynhauafwyr y grawnwin:
trwy fendith yr Arglwydd y cyrhaeddais,
ac y llenwais fy ngwin-wryf, fel
cynhauafwr grawnwin.
e Pen. 24. 34. 17 e Ystyriwch nad i mi fy hunan y cymmerais
i boen, ond i bawb a geisiant athrawiaeth.
18 O bendefigion y bobl, clywch; O lywodraethwyr
y gynnulleidfa, gwrandêwch
â'ch clustiau.
19 Na ddod awdurdod arnat dy hun i
fab nac i wraig, i frawd nac i gyfaill,
tra fyddech byw: ac na ddod dy dda i
arall, rhag bod yn edifar gennyt, a gorfod
it' ymbil am dano drachefn.
20 Tra fyddych fyw, ac anadl ynot, na
‡ ddyro dy hun i fynu i neb. ‡ *werth.*
21 Canys gwell yw bod dy blant yn ceisio
gennyt ti, nag i ti fod yn disgwyl wrth
ddwylaw dy blant.
22 Cymmer dy ragor yn dy holl weithredoedd;
ac na anafa dy barch.
23 Yn y dydd y gorphennych di ddyddiau
dy einioes, ac yn amser dy ddiwedd, rhan
dy etifeddiaeth.
24 *Rhodder* porthiant, a gwialen, a phwn,
i'r asyn; *felly* bara, a chospedigaeth, a
gwaith, i'r gweinidog.
25 Os gosodi dy was ar waith, ti a gai orphwysdra:
ond os gollyngi ef yn segur, efe
a gais ryddid.
26 Iau a chebystr a ostwng y warr; felly
y mae cospedigaeth a phoenau i weinidog
drwg.
27 Gyrr ef i'w waith, fel na byddo efe
segur: o blegid llawer o ddrygioni a ddysgodd
seguryd.
28 Gosod ef ar waith, fel y gweddai
iddo: oni bydd efe ufudd, dod heiyrn
trymmach arno.
29 Ond na ddod ormod ar un cnawd;
ac na wna ddim heb bwyll.
30 f Os bydd gennyt weinidog, bydded f Pen. 7. 20.
ef i ti fel dy enaid dy hun, oblegid § mewn
gwaed y ceisiaist ti ef. § *a gwerth y prynaist.*
31 Os bydd gennyt weinidog, gwna o
hono ef fel o frawd: canys fe fydd mor
rhaid i ti wrtho ef ag wrthyt dy hun. Os
cospi di ef ar gam, a chodi o hono yntau,
a ffoi ymaith, pa ffordd y ceisi di ef?

## PEN. XXXIV.

1 *Ynghylch breuddwydion.* 13 *Clod a bendith* Tach. 10. P.
*y rhai a ofnant yr Arglwydd.* 18 *Ebyrth
yr annuwiol, a gweddi y tlawd diniweid.*

OFER a chelwyddog obaith fydd gan wr
ansynhwyrol; a breuddwydion a falchïa
y rhai angall.
2 Megis un yn rhoi cais ar gysgod, ac yn
ymlid gwŷnt, yw yr hwn † a goelio i freu- † *sydd a'i feddwl ar.*
ddwydion.
3 Gweledigaeth breuddwydion sydd gyffelybiaeth
or naill beth i'r llall, megis
a cyffelybrwydd wyneb i wyneb. a Dihar. 27. 19.
4 b Pa lendid a geir o'r aflan? a pha
wirionedd o'r celwyddog? b Job 14. 4.
5 Ofer yw dewiniaeth, coelion, a breuddwydion;
a'r galon sydd yn ffansïo fel
calon gwraig yn esgor.
6 Oddieithr i'r Goruchaf eu danfon hwynt
yn dy ymweliad di, na ‡ ddod dy galon arnynt. ‡ *phrisia mo honynt.*
7 Breuddwydion a dwyllasant lawer; a'r
rhai a obeithiasant ynddynt hwy a fethasant.
8 Heb gelwydd y perffeithir y gyfraith;
a pherffeithrwydd i enau ffyddlon yw doethineb.
9 Y gwr a gerddodd lawer a ŵyr lawer:
a'r hwn a gafodd brawf o lawer o bethau a
ddengys synwyr.
10 Ychydig a ŵyr yr hwn ni phrofwyd: a'r
hwn a gerddodd lawer sydd yn llawn o synwyr.
11 Mi a welais lawer yn fy ngherdded; ac
yr wyf yn deall mwy nag a fedrafei adrodd.
12 Mi a fum yn fynych mewn perygl marwolaeth;
etto mi a achubwyd § trwy ras Duw. § *er mwyn y pethau hyn.*
13 Yspryd y rhai a ofnant yr Arglwydd a
gaiff fyw: o blegid y mae eu gobaith hwy
ar eu Hachubwr.

14 Yr hwn sydd yn ofni 'r Arglwydd nid
ofna ddim, ac ni ddychryna; o blegid efe
yw ei obaith ef.
15 Gwŷn ei fyd enaid y neb a ofno 'r Ar-
glwydd: at bwy y mae efe yn edrych? a
phwy yw ei gadernid ef?
c Psal. 33. 18. 16 Canys y mae c llygaid yr Arglwydd ar
y rhai a'i carant ef, d yn amddiffynfa ner-
d Psal. 61. 2, 3, 4. 91. 1, 2. thol, ac yn gadernid cryf, yn gysgod rhag
gwres, ac yn gysgod rhag yr haul hanner
dydd, ac yn geidwad rhag tramgwyddo, ac
yn help rhag syrthio:
17 Yn dyrchafu'r enaid, ac yn llewyrchu
'r llygaid; ac yn rhoddi iechyd, a bywyd,
a bendith.
e Dihar. 21. 27. 18 Gwawd e yw offrwm yr hwn a aber-
tho o ddâ anghyfiawn; ni byddir boddlon i
roddion y rhai anwir.
f Dihar. 15. 8. 19 f Nid yw y Goruchaf foddlon i offrym-
mau yr annuwiol; ac nid trwy lawer o aber-
thau y boddlonir ef am bechod.
20 Megis un yn lladd y mab o flaen lly-
gaid y tad, yw 'r hwn a offrymmo aberth o
ddâ y tlodion.
21 Bywyd y tlodion anghenus yw bara; a
dŷn gwaedlyd yw yr hwn a'i dygo oddi arno.
g Lef. 19. 13. Deut. 24. 14, 15. Pen. 7. 20. 22 Lladd ei gymmydog y mae yr hwn g a
dwyllo y gwas cyflog am ei gyflog.
23 Pan fyddo un yn adeiladu, ac arall yn
tynnu i lawr, pa fudd a gânt hwy ond poen?
24 Pan fyddo un yn gweddio, ac arall yn
melldithio, llefer pa un a wrendy 'r Ar-
glwydd?
h Num. 19. 11, 12. 25 h Y neb a ymolcho wedi cyffwrdd â'r
marw, ac a gyffyrddo ag ef eilwaith, pa
fudd a gaiff efe o'i ymolchiad?
i 2 Petr 2. 20, &c. 26 i Felly y dŷn a ymprydio o blegid ei
bechodau, ac a â drachefn, ac a wna yr un
pethau; pwy a wrendy ar ei weddi ef? a pha
fudd fydd iddo ef am ymddarostwng?

## PEN. XXXV.

Tach. 11. B. S. Mat. B. 1 *Pa ebyrth a ryng bodd Duw.* 14 *Gweddi
'r amddifad, a'r weddw, a'r gostyngedig o
yspryd.* 20 *Trugaredd cymmeradwy.*

a 1 Sam. 15. 22. Jer. 7. 3, 5, 6, 7. Y 7 Mae y neb a sydd yn cadw y gyfraith
yn dwyn digon o offrymmau; y neb
sydd yn glynu wrth y gorchymynion sydd
† aberth hedd. yn aberthu † iachawdwriaeth.
2 Ac y mae yr hwn a dalo ddïolch yn
offrymmu peilliaid; a'r hwn a roddo elusen
yn aberthu moliant.
b Dan. 4. 27. 3 b Ewyllys yr Arglwydd yw troi oddi
wrth ddrygioni; a boddloni yw ymado ag
anghyfiawnder.
c Exod. 23. 15. Deut. 16. 16. 4 c Nac ymddangos ger bron yr Arglwydd
yn waglaw:
5 O blegid hyn oll *a wneir* o achos y gor-
chymyn.
6 Y mae offrwm y duwiol yn gwneuthur
yr allor yn fras, a'i arogl peraidd ef sydd ger
bron y Goruchaf.
7 Aberth y gwr cyfiawn sydd gymme-
radwy, ac ni's gollyngir dros gof ei goffad-
wriaeth ef.
8 Gogonedda Dduw â llygad da, ac na
phrinhâ flaen-ffrwyth dy ddwylaw.
d 2 Cor. 9. 7. 9 d Dangos dy wyneb yn llawen ym mhob
rhodd: a ‡ chyssegra dy ddegfed yn siriol.
‡ neilldua. 10 e Dod i'r Goruchaf megis y rhoddes yn-
e Tob. 4. 8. tau i tithau, ac fel y mae dy allu, â llygad da.
11 O blegid yr Arglwydd a dâl, ac efe a
dâl i ti y saith gymmaint.
f Lef. 22. 21, 22. Deut. 15. 21. 12 Na phrinhâ dy offrwm; f canys ni
dderbyn efe mo hono: ac na ymddiried
wrth aberth anghyfiawn; o blegid yr Ar-
glwydd sydd farnwr, g ac nid yw efe yn g Deut. 10. 17.
derbyn wyneb neb. 2 Chron. 19. 7.
13 Ni dderbyn efe wyneb yn erbyn y Job 34. 19.
tlawd, eithr efe a wrendy weddi 'r gorthrym- Doeth. 6. 7.
medig. Act. 10. 34.
14 Ni ddïystyra efe ddeisyfiad yr amddi- Rhuf. 2. 11.
fad, na'r weddw, pan dywallto hi ei gweddi. Gal. 2. 6.
15 Onid yw dagrau 'r weddw yn disgyn Eph. 6. 9.
ar ei gruddiau hi, a'i llefain yn erbyn y neb Col. 3. 25.
sydd yn eu peri? 1 Petr 1. 17.
16 Yr hwn a addolo *Dduw* a fydd cym-
meradwy, a'i weddi ef a gyrraedd hyd y
cymmylau.
17 Gweddi y gostyngedig a â trwy 'r cym-
mylau; ac ni's diddenir hi nes ei dyfod yn
agos; nid ymedy hi nes i'r Goruchaf edrych
i farnu yn gyfiawn, ac i wneuthur barn.
18 Canys yr Arglwydd nid oeda ac ni
hir-ymerys y Cadarn wrthynt hwy, nes
dryllio llwynau 'r rhai anhrugarog, a thalu
dïaledd i'r Cenhedloedd; a dwyn ymaith
lïosowgrwydd y rhai trahäus, a dryllio
teyrnwialen y rhai anghyfiawn;
19 Nes iddo dalu i *bob* dŷn yn ol ei
weithredoedd, ac i weithredoedd dynion
yn ol eu dychymygion; nes iddo farnu
achos ei bobl, a'u llawenychu hwy â'i dru-
garedd.
20 § Hyfryd yw trugaredd yn amser ad- § *Tymhoraidd.*
fyd; fel y cymmylau gwlaw yn amser
sychder.

## PEN. XXXVI.

1 *Gweddi dros yr Eglwys yn erbyn ei gelynion.* Tach. 11. P.
18 *Y galon dda, a'r gyndyn.* 21 *Gwraig dda.*

CYMMER drugaredd arnom ni, O Ar-
glwydd Dduw † pawb oll; ac edrych † *pob peth.*
arnom ni:
2 A gyrr dy ofn ar y Cenhedloedd oll, y
rhai ni'th geisiasant.
3 a Cyfod dy law ‡ ar y Cenhedloedd a Jer. 10. 25.
dïeithr; gâd iddynt weled dy allu di.
4 Megis y'th sancteiddiwyd yn ein mysg ‡ *yn erbyn.*
ni ger eu bron hwynt; felly mawrhâer di yn
eu mysg hwythau ger ein bron ninnau.
5 Gwna iddynt dy adnabod megis yr
ydym ni yn dy adnabod, nad oes un Duw
ond tydi, O Arglwydd.
6 Adnewydda arwyddion, a newidia ry-
feddodau. Gogonedda dy law a'th ddeheu-
fraich, fel y gosodont allan dy weithredoedd
rhyfedd.
7 Cyffroa dy lid, a thywallt dy ddigter:
cymmer y gwrthwynebwr ymaith, a dryllia'r
gelyn.
8 Prysura 'r amser, cofia 'r cyfammod, a
mynegant hwy dy ryfeddodau di.
9 Gâd i ddigofaint tanllyd ddifa 'r neb a
ddïango, a chaffed y rhai a wnant niweid
i'th bobl eu difetha.
10 Dryllia bennau tywysogion y Cenhed-
loedd, y rhai a ddywedant, Nid oes ond nyni.
11 Casgl holl lwythau Jacob ynghyd, a
chymmer hwynt yn etifeddiaeth i ti, megis
o'r dechreuad. b Exod. 4. 22.
12 O Arglwydd, trugarhâ wrth y bobl, y
rhai a elwir ar dy enw di; ac wrth Israel, c 2 Chron. 6. 41.
b yr hwn a elwaist di yn gyntaf-anedig. Psal. 132.
13 Tosturia wrth Jerusalem, dinas dy 14.
Gyssegr, c a'th orphwysfa di. § *fel y mawrhao dy oraclau di.*
14 Llanw Sïon § â'th oraclau anhrae-
thadwy, a'th bobl â'th ogoniant.
15 Dod dystiolaeth i'r pethau a ‖ greaist ‖ *feddiennaist o'r dechreuad.*
yn y dechreuad, a chyfod y † prophwydi a
fuant yn dy Enw. † *prophwydoliaethau.*
16 Dod wobr i'r rhai sydd yn aros wrthyt
ti, a chaffer dy brophwydi di yn ffyddlon.

8 A'r rhai hynny y gwna yr apothecari eli: ac ar ei waith nid oes diben; o herwydd oddi wrth *yr Arglwydd* y mae heddwch ar wyneb y ddaear.

9 Fy mab, na fydd esgeulus yn dy glefyd; eithr [c] gweddia ar yr Arglwydd, ac efe a'th iachâ di.

[c] Esay 38. 2, 5.

10 Tro oddi wrth anwiredd, ac iawn-drefna dy ddwylaw, a glanhâ dy galon oddi wrth bob pechod.

11 Dod ber-arogl a choffadwriaeth o beilliaid, a dod offrwm bras, fel † un heb fod:

† *un marw.*

12 Yna dod le i'r meddyg: [d] o blegid yr Arglwydd a'i creodd ef. Nac ymadawed a thi; o herwydd fe fydd rhaid it' wrtho ef.

[d] Adn. 1.

13 Y mae amser pan fyddo ffynniant ar eu llaw hwynt.

14 Canys hwy a weddïant hefyd ar yr Arglwydd ar iddo ef lwyddo yr hyn y maent hwy yn ei roddi, er esmwythdra ac iechyd i estyn einioes.

15 Yr hwn a becho yngŵydd yr hwn a'i gwnaeth, syrthied yn llaw y meddyg.

16 Fy mab, [e] gollwng ddagrau dros y marw, a dechreu alaru, fel pe bait yn dioddef anfad niweid; ac yna amdoa ei gorph ef yn ol yr arfer, ac na ddïystyra ei gladdedigaeth ef.

[e] Pen. 22. 11. 1 Thess. 4. 13.

17 Wyla yn chwerw, a gofidia yn dost, a galara fel yr haeddai ef, ddiwrnod neu ddau, rhag cael anair: yna cymmer ddiddanwch am dy dristwch.

18 O blegid o dristwch y daw marwolaeth; a thristwch [f] calon a blyga gryfder.

[f] Dihar. 15. 13. a 17. 22.

19 Mewn cystudd yr erys tristwch; a melldith calon yw bywyd y tlawd.

20 Na ddod dristwch at dy galon; tro ef ymaith, a meddwl am y diwedd.

21 Nac anghofia *hyn;* o herwydd ni elli ddychwelyd. Ni elli di ddaioni iddo ef, ond niweid a wnei i ti dy hun.

22 Cofia'r farn sydd ‡ i mi; felly y bydd yr eiddot tithau. I mi ddoe, ac i tithau heddyw.

‡ *arno ef.*

23 [g] Gorphwysed coffadwriaeth y marw, pan orphwyso yntau: cymmer gyssur am dano ef, gan fyned ei yspryd oddi wrtho ef.

[g] 2 Sam. 12. 20.

24 Doethineb y dysgedig a geir wrth hamdden amserol: § a'r hwn a edrycho ychydig am ei waith, ni bydd efe doeth.

§ *a'r hwn ni drafferth a fydd doeth.*

25 Pa fodd y daw efe i ddoethineb, yr hwn sydd yn dàl y penffestr, ac sydd a'i hoffder yn yr irai, ac sydd yn gyrru'r ychen, ac sydd yn arfer eu gwaith hwynt, ac yn chwedleua am fustachiaid?

26 Y mae efe yn rhoi ei feddwl ar droi cwysau, ac yn ddiwyd i roddi gwellt i'r gwartheg.

27 Felly pob saer, a phen-saer, yr hwn a weithia nos a dydd; yr hwn a gerfia gerfiadau seliau, ac a fydd astud i wneuthur amryw gerfiadau, ac a rydd ei feddwl ar ddynwared portreiadau, ac a fydd wyliadwrus i orphen gwaith.

28 Felly'r gof yn eistedd wrth yr einion, ac yn ystyried y gwaith haiarn: angerdd y tân a wna i'w gnawd ef ddihoeni, ac efe a ymladd â gwres yr aelwyd: y mae swn y morthwyl a'r einion yn dyfod yn wastad i'w glustiau ef, ar wedd y dodrefnyn y mae efe yn ei wneuthur y mae ei lygaid ef yn wastad: ei feddwl a rydd efe ar orphen ei waith, a'i ofal fydd am ei orphen yn hardd.

29 Felly y mae'r crochenydd yn eistedd wrth ei waith, ac [h] yn troi y droell â'i draed, yr hwn a esyd ar ei waith bob amser yn ofalus, a'i holl waith ef fydd dan rif.

[h] Jer. 18. 3.

30 Efe a lunia'r clai â'i fraich, ac a'i meddalhâ ef â'i draed: efe a esyd ei feddwl ar ei blymmio drosto, ac a fydd ofalus i ysgubo'r odyn.

31 Y rhai hyn oll sydd yn ymddiried yn eu dwylaw eu hun; a phob un a gais fod yn gelfydd yn ei waith.

32 Heb y rhai hyn ni's cyfanneddir dinas: ac ni chânt hwy drigo lle y mynnont, na rhodio i fyna ac i wared.

33 Ni cheisir hwynt i fod o gyngor y bobl, ac ni ddyrchefir hwynt yn y gynnulleidfa: nid eisteddant hwy ar orsedd-faingc ‖ ynadon, ac ni ddeallant gyfammod y gyfraith: ni fedrant egluro cyfiawnder a barn, ac ni byddant i'w cael lle y bo traethu damhegion.

‖ *barnwyr.*

34 Eithr y maent hwy yn cynnal y byd: a'u dymuniad sydd yngwaith eu celfyddyd.

## PEN. XXXIX.

1 *Portreiad y gwir-ddoeth.* 12 *Annog i foliannu Duw am ei weithredoedd, y rhai sy ddaionus i'r rhai da, a niweidiol i'r rhai drygionus.* Tach. 13. B.

EITHR yr hwn a roddo ei fryd ar gyfraith y Goruchaf, ac a fyfyria ynddi, a gais ddoethineb y rhai oll a fuant gynt, ac a dreulia ei amser † yn y prophwydi.

† *mewn prophwydoliaethau.*

2 Efe a geidw eiriau gwŷr enwog: ac a fydd lle y bo damhegion call.

3 Efe a gais ddirgelwch dïarhebion, ac a erys ynghaled gwestiynau damhegion.

4 Efe a wasanaetha ym mysg pendefigion, ac a ymddengys yngŵydd tywysogion. Efe a dramwya trwy wlad cenhedloedd dïeithr: canys efe a brofodd y da a'r drwg ym mysg dynion.

5 Efe a rydd ei feddwl ar fyned yn fore at yr Arglwydd yr hwn a'i gwnaeth ef, ac efe a weddïa ger bron y Goruchaf, ac a egyr ei enau mewn gweddi, ac a ymbil dros ei bechodau.

6 Pan fynno yr Arglwydd mawr, efe a lenwir ag yspryd deall: efe a draetha eiriau doethion ac yn ei weddi efe a folianna'r Arglwydd.

7 Efe a gyfarwydda ei gyngor a'i wybodaeth ef; yn ei ddirgelwch ef y myfyria efe.

8 Efe a ddengys addysg ei athrawiaeth, ac a lawenycha ynghyfraith cyfammod yr Arglwydd.

9 Llawer a ganmolant ei synwyr ef, ac ni's dilëir hi byth: nid ymedy ei goffadwriaeth ef, eithr ei enw a bery yn oes oesoedd.

10 [a] Cenhedloedd a fynegant ei ddoethineb ef, a'r gynnulleidfa a draetha ei glod ef.

[a] Pen. 44. 15.

11 Efe a ad enw gwell nâ mil, os bydd efe marw; ac os byw fydd, efe a'i 'chwanega.

12 Mynegaf etto yr hyn a feddyliais: o blegid yr ydwyf fi mor llawn a'r lleuad yn y llawn-llonaid.

13 Gwrandêwch arnaf fi, chwi rai sanctaidd; blodeuwch fel rhosyn wedi ei blannu wrth ‡ afon y maes.

‡ *afonydd o ddyfredd.*

14 A rhoddwch arogl peraidd fel thus, a dygwch flodau fel gardd lili; rhoddwch arogl, a chenwch fawl; a bendithiwch yr Arglwydd yn ei holl weithredoedd.

15 Mawrygwch ei enw, a gosodwch allan
ei fawl ef, gan ganu â gwefusau, ac â the-
lynau: a dywedwch yn eich clodforedd fel
hyn:
b Gen. 1. 16 b Holl weithredoedd yr Arglwydd yd-
31. Adn. 33. ynt dda odiaeth: a'i holl orchymynion ef *a*
Mar. 7. 37. *wneir* mewn pryd.
17 Ni all neb ddywedyd, Beth yw hyn?
paham y mae hyn acew? canys mewn pryd
c Psal. 33. y ceisir hwynt oll. c Wrth ei air ef y safodd
6. a 147. 15, y dwfr fel pentwr, a'r llynnau dyfroedd wrth
18. air ei enau ef.
d Psal. 135. 18 d Yn ei orchymyn ef y mae pob dim a
6. ryglyddа bodd iddo; ac nid oes a ddichon
luddias ei iachawdwriaeth ef.
19 Gweithredoedd pob cnawd sydd ger
ei fron ef, ac ni ellir cuddio dim rhag ei
olwg ef.
20 Y mae efe yn edrych o dragywyddol-
deb hyd dragywyddoldeb; ac nid oes dim
rhyfedd ger ei fron ef.
21 Nid rhaid gan hynny ddywedyd, Beth
yw hyn? pa'm y mae hyn acew? o blegid
efe a wnaeth bob peth i'r peth y mae yn
rhaid wrthynt.
22 Ei fendith ef a orchuddiodd fel afon,
ac a ddyfrhaodd y ddaear fel llif.
23 Fel y trodd efe y dyfroedd yn hallti-
neb: felly y caiff y Cenhedloedd ei ddig ef
yn etifeddiaeth.
e Hos. 14. 24 e Ei ffyrdd ef sydd uniawn i'r rhai
9. sanctaidd, a thramgwydd i'r anwir.
25 Pethau da a grëwyd o'r dechreuad i'r
rhai da, a phethau niweidiol i bechaduriaid.
f Pen. 29. 26 f Y pethau pennaf o angenrheidiau
21. bywyd dŷn, yw dwfr, tan, a haiarn, a ha-
len, a blawd gwenith, a llaeth, a mel, a
g Gen. 49. g † gwin, ac olew, a dillad.
11. 27 h Y rhai hyn oll sydd dda i'r duwiol;
Deut. 32. 14. felly y troir hwynt yn niweid i'r pechadur-
Pen. 50. 16. iaid.
† *gwaed y grawnwin.* 28 Y mae ysprydion a wnaed er dïaledd,
ac yn eu dig y cryfhânt hwy eu ffrewyllau:
h 1 Tim. 4. ac yn y diwedd hwy a dywalltant allan
4. eu nerth, ac a ostegant lid yr hwn a'u
gwnaeth.
i Pen. 40. 29 i Tân, a ‡ môr, a newŷn, a marwola-
9. eth, y rhai hyn oll a wnaed er dïaledd.
‡ *chenllysg.* 30 k Danedd bwystfilod, a 'sgorpionau, a
k Deut. 32. l § gwiberod, a'r cleddyf, sydd yn dïal er
24. dinystr ar yr annuwiolion.
l Doeth. 16. 31 Byddant lawen ‖ pan gyfodo efe, a
5. pharod fyddant ar y ddaear, pan fyddo
§ *seirph.* rhaid wrthynt hwy, a phan delo eu hamser,
‖ *yn ei orchymyn ef.* nid ant hwy dros ei orchymyn ef.
32 Am hyn yr ymnerthais i o'r dechreu-
ad, ac a feddyliais am y pethau hyn, ac a'*u*
gadewais mewn ysgrifen.
m Gen. 1. 33 m Holl waith yr Arglwydd sydd dda;
31. ac efe a'u dyry hwy wrth bob rhaid yn eu
Adn. 16. hamser.
34 Ni ellir dywedyd, Gwaeth yw hyn nâ
hyn acew: o blegid cymmeradwy fydd pob
un yn ei amser.
35 Am hynny yn awr â'r galon oll ac â'r
genau cannolwch, a bendithiwch enw 'r Ar-
glwydd.

## PEN. XL.

Tach. 13. P. 1 *Llawer o ofid sydd ym mywyd dŷn.* 11
*Gwobr anghyfiawnder, a ffrwyth onestrwydd.*
17 *Gwraig rinweddol a chydymmaith ffyd-*
*dlon a lawenhâ'r galon, ond ofn yr Argl-*
*wydd sydd goruwch pob peth.* 28 *Diga-*
*sog yw bywyd y tlawd.*

a Preg. 1. 3. a BLINDER mawr a grëwyd i bob dŷn,
† *Adda.* a iau drom sydd ar feibion † dynion,
o'r dydd y delont hwy o groth eu mam
hyd y dydd y dychwelont hwy i fam pob
peth:
2 *Sef* eu meddyliau, a'u braw calon, eu
disgwyliad am y pethau a ddaw, a'u dydd
diwedd;
3 O'r hwn sydd yn eistedd ar deyrn-gadair
gogoniant, hyd yr isel-radd, yr hwn sydd
yn y pridd a'r lludw;
4 O'r hwn sydd yn gwisgo porphor a cho-
ron, hyd yr hwn a wisg liain cri.
5 Y mae dig a chynfigen, blinder a hel-
bul, ac ofn marwolaeth, a llid, ac ymryson,
ac yn amser cymmeryd esmwythdra yn ei
wely, ei gwsg liw nos a newidia ei wybo-
daeth ef.
6 Megis yn nydd amser gwylio, felly yn
ei gwsg, ychydig neu beth heb ddim yw ei
esmwythdra ef: efe a gythryblir yn ei galon
megis un wedi ffoi o ryfel.
7 Pan fo pob peth yn ddïofal, efe a dde-
ffry, ac a ryfedda nad oedd yr ofn ddim.
8 *Felly y mae* i bob cnawd, yn ddyn ac
yn anifail; ac i bechaduriaid y mae saith
mwy nâ hyn.
9 b Marwolaeth, gwaed, ymryson, cledd- b Pen. 39.
yf, gorthrymder, newŷn, cystudd, a ffre- 29, 30.
wyll;
10 Yn erbyn yr annuwiol y gwnaed
hyn oll; ac er eu mwyn hwy y bu c y c Gen. 7.
diluw. 11.
11 d Pob peth a'r y sydd o'r ddaear a d Gen. 3.
ddychwel i'r ddaear; hyn sy o'r e dyfroedd, 19. Pen. 41. 10.
a droir i'r môr. e Preg. 1. 7.
12 Pob derbyn gwobr ac anghyfiawnder
a ddilëir, ac uniondeb a bery byth.
13 Golud rhai anghyfiawn a â yn ddis-
pydd fel afon, ac a ddiflanna trwy dwrwf fel
taran fawr ar law.
14 Tra yr agoro efe ei law, efe a fydd
lawen: felly y derfydd am y troseddwŷr.
15 Hiliogaeth yr annuwiol ni byddant
ganghennog; eithr fel gwraidd aflan ydynt
ar graig ddibyn.
16 f Y chwŷn yn tyfu wrth bob dwfr, f Job 8. 11.
ac g ynglàn yr afon, a dynnir o flaen pob a 16. 12.
gwellt. g Gen. 41.
17 Caredigrwydd sydd fel gardd ‡ bara- 3.
dwysaidd: a thrugaredd a bery byth. ‡ *fendige-*
18 Melus yw buchedd yr hwn a weithio, *dig.* Adn. 27.
ac h a fyddo boddlon i'w gyflwr; gwell nâ 'r h Phil. 4.
ddau yw yr hwn a gaffo drysor. 11.
19 Planta ac adeiladu dinas a sicrhâ enw: 1 Tim. 6. 6.
eithr gwraig ddifai a gyfrifir yn well nâ'r
ddau.
20 Gwin a cherdd a lawenycha 'r galon;
eithr hoffi doethineb sy fwy nâ 'r ddau.
21 Pibell a psaltring a wnânt gynghanedd
felus: a thafod mwyn sydd well nâ 'r ddau.
22 Pryd a thegwch a chwennych llygad:
er hynny gwell yw egin glas nâ'r ddau.
23 Cyfaill a chydymmaith a gyfarfyddant
mewn pryd; gwraig gyd â'i gwr sydd well
nâ 'r ddau.
24 Brodyr a chymmorth sy dda yn amser
adfyd; eithr elusen a wareda yn fwy nâ 'r
ddau.
25 Aur ac arian a sefydlant y troed:
a chyngor sydd gymmeradwyach nâ 'r ddau.
26 Golud a chryfder a ddyrchafa 'r galon:
eithr ofn yr Arglwydd, sydd fwy nâ 'r ddau.
Nid oes eisiau yn ofn yr Arglwydd, ac nid
rhaid iddo ef geisio help. i Adn 1. 7.
27 i Gardd § a fendithiwyd yw ofn yr § *fendig-*
Arglwydd, ac k a'i gorchuddia ef uwch pob *edig.* k Esay 4.
gogoniant. 5.

28 Fy mab, na fydd yn † westai: gwell
yw marw nâ ‡ gwesta.
29 Nid yw bywyd yr hwn a edrych ar
fwrdd gwr arall, i'w gyfrif yn fywyd; efe a
haloga ei enaid am fwyd eraill: eithr y gwr
call, a ddysgwyd yn dda, a ymochel rhag
hynny.
30 Melus yw cardotta yngenau y digy-
wilydd; ond yn ei fol ef y llysg tân.

† gardottyn.
‡ chardotta.

## PEN. XLI.

Tach. 14. B. 1 *Coffa angau.* 3 *Nad ofner angau.* 5 *Melldigedig fydd yr annuwiol.* 11 *Enw drwg, ac enw da.* 14 *Rhaid yw adrodd doethineb, ac nid ei chelu.* 16 *Pa bethau y dylem gywilyddio o'u hachos.*

O Angau, mor chwerw yw meddwl am
danat ti, i'r dŷn a fyddo yn byw mewn
heddwch yn yr hyn sydd ganddo; i'r gwr
a fyddo di-helbul, ac yn llwyddiannus ym
mhob peth; ac i'r hwn a ddichon etto
gymmeryd ei fwyd!
2 O angau, mor dda yw dy farn di i'r an-
ghenus, ac i'r gwân; i'r hen ddihenydd, ac
i'r hwn sydd yn flin arno am bob peth, ac i'r
anobeithiol, ac i'r annioddefgar!
3 Nac ofna farn angau: cofia y rhai a fu
o'th flaen, ac a fydd ar dy ol di: dyma farn
yr Arglwydd ar bob cnawd.
4 Paham y gwrthwynebi di ewyllys y
Goruchaf? Pa un bynnag ai deg, ai cant,
ai mil o flynyddoedd y buost ti fyw, nid oes
gyfrif yn y bedd.
5 Plant ffiaidd yw plant pechaduriaid,
felly y mae y rhai sydd yn byw yn nhrigfaau
yr annuwiol.
6 Etifeddiaeth plant yr annuwiol a ddi-
fethir, a chyd â'u hiliogaeth hwynt yr erys
gwaradwydd yn wastad.
7 Rhag tad annuwiol yr achwyn y plant;
o blegid hwy a waradwyddir o'i achos ef.
8 Gwae chwi, wŷr annuwiol, y rhai a ad-
awsoch gyfraith y Duw goruchaf: o blegid
er eich amlhâu, chwi a ddifethir;
9 A phan aner chwi, chwi a enir i fell-
dith; ac os meirw fyddwch chwi, rhoddir i
chwi felldith yn rhan.
10 [a] Pob peth a â i'r ddaear, a ddelo o'r
ddaear: felly yr â yr annuwiol o felldith i
ddistryw.
11 Galar dynion fydd am eu cyrph; ond
enw drwg dynion a ddileir.
12 Bydd ofalus am enw da: canys [b] hwn-
nw a erys gyd â thi yn hŵy nâ mil o drysorau
mawrion o aur.
13 † Buchedd dda a gaiff nifer o ddydd-
iau; ond enw da a bery byth.
14 Fy meibion, cedwch addysg mewn
heddwch: canys [c] doethineb wedi ei chu-
ddio, a thrysor heb ei weled, pa fudd sydd
o'r ddau?
15 [d] Gwell yw 'r dŷn a guddio ei ffoli-
neb, nâ 'r dŷn a guddio ei ddoethineb.
16 Gwladeiddia gan hynny yn ol fy ngair
i: o blegid nid da yw cadw pob gwladeidd-
dra, ac nid yw gwbl-gymmeradwy ym mhob
peth.
17 Cywilyddiwch yngŵydd tad a mam
am odineb, ac yngŵydd tywysog neu ben-
defig am gelwydd,
18 Am fai o flaen yr ynad a'r tywysog,
am anwiredd yngŵydd y gynnulleidfa a'r
bobl, am anghyfiawnder yngŵydd cydym-
maith a chyfaill;
19 Felly am ladrad o herwydd y lle y
byddech yn aros ynddo, ac o herwydd

a Pen. 40. 11.
b Dihar. 22. 1.
† Nid oes i fuchedd dda ond ychydig ddyddiau.
c Pen. 20. 30.
d Pen. 20. 31.

gwirionedd Duw a'i gyfammod; ac am roddi
dy benelin ar y bara, ‡ a phan y'th gerydder
am roddi a derbyn;
20 Yr un modd am dewi wrth y rhai a'th
gyfarchant, ac am edrych ar wraig butteinig;
21 Ac am droi *dy* wyneb oddi wrth dy gâr,
am ddwyn rhodd neu ran, ac [e] am ddâl sulw
ar wraig gwr arall;
22 Neu am § arfer maswedd â morwyn
un arall, ac na thyred yn agos at ei gwely
hi; *bydded gywilydd gennyt* edliw ger bron
cydymmaith; ac [f] na ddannod wedi rhoddi;
23 Ac am [g] adrodd drachefn yr hyn a
glywech, a datguddio cyfrinach.
24 Felly y byddi gywilyddgar, ac y cei
di ffafr gan bob dŷn.

‡ ac am [illegible] yn rhoddi a derbyn.
e Mat. 5. 28.
§ [illegible] d yn [illegible] bryg- [illegible].
f Pen. 20. 15.
g Pen. 19. 7.

## PEN. XLII.

1 *Am ba beth na ddylem gywilyddio.* 9 *Cymmer ofal tros dy ferch.* 12 *Gochel wraig.* 15 *Gweithredoedd a mawredd Duw.* Tach. 14. P.

[a] NAC ystyr berson i bechu, ac na fy-
dded arnat gywilydd am y pethau
hyn:
2 Sef am gyfraith y Goruchaf, a'i gyfam-
mod, nac am y farn a wnel i'r annuwiol fod
yn gyfiawn;
3 Am gyfrif â'th gyfeillion, a'th gyd-ym-
deithwŷr, neu am roddi etifeddiaeth cy-
feillion;
4 Am fod yn ofalus am gloriannau a
phwysau, ac am feddiannu llawer neu ychy-
dig;
5 Am uniondeb yn prynu a gwerthu, am
geryddu llawer ar blant, ac am dynnu gwaed
o ystlys gwas drwg.
6 Da yw † sel rhag gwraig ddrwg, a chloi
lle y byddo llawer o ddwylaw.
7 Pan roddech beth at arall, dod dan rif
a phwys; dod a derbyn wrth ysgrifen.
8 Trwy ddysgu'r annoeth, a'r angall, a'r
cleiriach a ymrysono ag ieuengctid, y byddi
di wir-ddysgedig a chymmeradwy ger bron
pob dŷn byw.
9 Merch a bair i'w thad wylied yn ddir-
gel; a gofal am dani hi a rwystra ei gwsg
ef: rhag iddi nac yn ei hieuengctid fyned
dros flodau ei hoedran, na chael ei chasâu
wedi gwra;
10 Rhag ei halogi yn ei morwyndod, a'i
beichiogi yn nhŷ ei thad; ac iddi wneuthur
bai pan fyddo gyd â gwr, ac er cyttal fod yn
ammhlantadwy.
11 [b] Cadw yn sicr ferch wammal, rhag
iddi dy wneuthur yn wawd i'th elynion,
a pheri i'r ddinas son am danat, ac i'r bobl
feio arnat, a'th waradwyddo yngŵydd y
gynnulleidfa.
12 Nac edrych ar [c] degwch pob dŷn, ac
nac aros ym mysg gwragedd.
13 O blegid o ddillad y daw gwyfyn, [d] a
drygioni gwraig o wraig.
14 Gwell yw gwr ‡ drygionus nâ gwraig
gymmwynasgar, *sef* gwraig a waradwyddo
yn gywilyddus.
15 Mi a gofiaf weithredoedd yr Ar-
glwydd, ac a fynegaf yr hyn a welais.
Yngeiriau 'r Arglwydd *y ceir* ei weithred-
oedd ef.
16 Pan oleuo 'r haul, efe a oleua ar bob
peth; felly y mae ei waith ef yn llawn o
ogoniant yr Arglwydd.
17 [e] Ni wnaeth yr Arglwydd i'w rai sanc-
taidd fynegi ei holl ryfeddodau ef, y rhai a
sicrhaodd yr Holl-alluog, fel y byddai pob
peth yn sicr yn ei ogoniant ef.

a Lef. 19. 15. Deut. 1. 17. Dihar. 24. 23. Pen. 20. 22.
† cadw yn sicr.
b Pen. 26. 10.
c Pen. 25. 21.
d Gen. 3. 6.
‡ anhywedd.
e Pen. 27.

18 Y mae efe yn chwilio allan y dyfnder,
a'r galon, yn deall eu cyfrwysdra hwynt.
† *yr Arglwydd.* Canys y mae † 'r Goruchaf yn gwybod pob
gwybodaeth, ac yn gweled arwyddion y byd.
19 Y mae efe yn mynegi pethau a fuant,
a phethau a fyddant, ac yn datguddio ôl
pethau dirgel.
f Job 42. 2. 20 f Nid â un meddwl heibio iddo ef,
Esay 29. ac ni bydd un gair yn guddiedig oddi wrtho
15. ef.
21 Efe a harddodd fawredd ei ddoethi-
neb; ac y mae efe o dragywyddoldeb i dra-
gywyddoldeb. Ni ellir 'chwanegu atto ef,
na thynnu oddi wrtho: nid rhaid iddo ef
wrth gyngor neb.
22 Mor ddymunol yw ei holl weithred-
oedd ef! ie hyd yn oed mewn gwreichionen
y gellir gweled hyn.
23 Y mae y rhai hyn oll yn byw, ac yn
parhâu byth; ac wrth bob rhaid y maent
hwy yn ufuddhâu oll.
g Pen. 33. 24 g Y maent hwy oll yn ddau-ddyblyg,
15. y naill ar gyfer y llall; ac ni wnaeth efe
ddim â diffyg arno.
25 Y mae y naill yn sicrhâu daioni 'r llall,
a phwy a gaiff ddigon o edrych ar ei ogon-
iant ef?

## PEN. XLIII.

Tach. 15. B. 1 *Tra gogoneddus, a rhyfeddol yw gweith-*
*redoedd Duw, yn y nef, ac yn y ddaear,*
*ac yn y môr. Ffto y mae Duw ei iaun,*
*yn ei allu, a'i ddoethineb, uwch law pob*
*dim.*

GOGONIANT yr uchelder, y ffurfafen
1 eglur, tegwch y nefoedd, a'i olygiad
gogoneddus;
† *ar ei gyfodiad.* 2 Y mae yr haul hefyd † wrth ymddan-
gos, yn mynegi ‡ offeryn rhyfedd, gwaith y
‡ *dodrefnyn.* Goruchaf.
3 Ar hanner dydd efe a lysg y wlad; a
phwy a ddichon aros ar gyfer ei wres poeth
ef?
4 Y mae un yn cadw ffwrn mewn gwaith
brwd; tri mwy y llysg yr haul y mynydd-
oedd: gan chwythu allan angerdd tanllyd,
ac yn disgleirio â'i belydr y mae efe yn dallu
y llygaid.
5 Mawr yw yr Arglwydd, yr hwn a'i
gwnaeth ef; ac wrth ei orchymyn ef efe a
§ *brysurodd ei.* § beidiodd â'i daith.
a Gen. 1. 6 a Y lleuad hefyd a wnaeth efe i wasa-
10. naethu yn ei hamser: i fod yn egluro yr am-
ser, ac yn arwydd i'r byd.
b Exod. 12. 7 b Wrth y lleuad y ceir gwybod yr
2. wyl, sef goleuni yn lleihâu ‖ tu a'r di-
‖ *yn ei berffeithrwydd.* wedd.
8 Ar ei henw hi y mae y mis; a hi a
gynydda yn rhyfedd yn ei chyfnewid, yn
offeryn i'r lluoedd yn yr uchelder, yn lle-
wyrchu yn ffurfafen y nefoedd.
9 Disgleirdeb y sêr sydd yn degwch i'r
nefoedd, ac yn harddwch yn disgleirio yn
uchel-leoedd yr Arglwydd.
10 Wrth orchymyn yr un Sanctaidd y
maent hwy yn sefyll yn eu trefn, ac nid
ydynt yn diffygio yn eu gwyliadwriaeth.
c Gen. 9. 11 c Gwel yr enfys, a chlodfora yr hwn
13. a'i gwnaeth hi: tegeidiaeth yw hi yn ei dis-
gleirdeb.
12 Y mae hi yn amgylchu 'r nefoedd â
d Esay 40. chylch gogoneddus; d dwylaw 'r Arglwydd
12, &c. a'i hamgylchodd hi.
13 Y mae efe wrth ei orchymyn yn gw-
neuthur i'r eira ddisgyn ar frys, ac i daranau
ei farn ef brysuro.

14 Am hyn e yr ymegyr y trysorau, ac e Deut. 28.
yr hêd y cymmylau fel adar. 12.
15 Yn ei fawredd y sicrhaodd efe'r Job 38. 22.
cymmylau, ac a dorrodd yn fân y cerrig Psal. 135.
cenllysg. 7. Jer. 10. 13.
16 A'r mynyddoedd a symmudant wrth a 51. 16.
ei olwg ef; wrth ei ewyllys ef y chwyth y
deheu wynt.
17 Twrf ei daran ef a bair i'r ddaear
grynu, a thymmestl y gogledd-wynt, a'r
trowynt: y mae efe yn taenu eira fel adar
yn ehedeg, ac efe a syrth fel y disgyn ceili-
ogod rhedyn.
18 Rhyfedd gan lygad weled tegwch ei
wynder ef, a phob calon a synna wrth ei
gawod ef.
19 Efe a dywallt rew ar y ddaear fel
halen; ac wedi iddo rewi, y mae efe yn
† bigfyn. † *yn sefyll*
20 Pan chwytho'r gogledd-wynt oer, a *ar ben*
rhewi o'r dwfr yn iâ, ar bob llynn dwfr y *polion*
saif, ac efe a wisg y dyfroedd megis â llurig. *llymmion.*
21 Y mae efe yn difa y mynyddoedd, ac
yn llosgi'r diffaethwch, ac yn diffoddi pob
gwyrdd-lesni fel tân.
22 Meddyginiaeth rhag y cwbl yw niwl
a ddelo ar frys; a gwlith a ddelo yn ol gwres
a lawenycha.
23 Wrth ei gyngor y llonyddodd efe y
dyfnder, ac y plannodd ynysoedd ynddo.
24 f Y rhai a hwyliant ar y môr a fyne- f Psal. 107.
gant mor enbyd yw efe; a phan glywom 23.
ninnau â'n clustiau, nyni a ryfeddwn.
25 g Yno y mae dïeithr weithredoedd g Psal. 104.
a rhyfedd, pob amryw anifail, a'r môr- 25, 26.
feirch.
26 Trwyddo ef y mae ‡ ei angel ef yn ‡ *eu diwedd*
cael rhwydd-deb; a thrwy ei air ef y cy- *hwynt yn*
fansoddwyd pob peth. *cael rhwyddeb.*
27 Nyni a ddywedwn lawer, er hynny
h yr ydym ni yn fyrr: i ddywedyd ar air, efe h Pen. 42.
yw'r cwbl. 17.
28 Pa fodd y gallwn ni ei ogoneddu ef?
canys y mae efe uwch law ei holl waith.
29 i Ofnadwy yw'r Arglwydd, a mawr i Psal. 96.
odiaeth, a rhyfedd yw ei allu ef. 4.
30 Pan ogoneddoch chwi yr Arglwydd,
dyrchefwch ef fwyaf ag y galloch: ac efe
a ragora lawer ar hynny. A phan ddyr-
chafoch ef, rhoddwch lawer o egni; na
flinwch: canys ni chyrhaeddwch chwi byth
adref.
31 k Pwy a'i gwelodd ef, ac a fynega i ni? k Psal. 106.
a phwy a'i mawryga ef megis y mae? 2.
32 Y mae llawer peth mwy nâ hyn yn Ioan 1. 18.
guddiedig: canys ychydig a welsom ni o'i a 5. 37. a
weithredoedd ef: 6. 46.
33 O blegid yr Arglwydd a wnaeth bob
peth: ac i'r rhai duwiol y rhoddes efe
ddoethineb.

## PEN. XLIV.

1 *Clod amryw wŷr duwiol,* 16 *sef Enoch,* Tach. 15. P
17 *Noah,* 19 *Abraham,* 22 *Isaac,* 23 *a*
*Jacob.*

CANMOLWN yn awr y gwŷr enwog, a'n
tadau a'n cenhedloedd ni.
2 Llawer o ogoniant a wnaeth yr Argl-
wydd trwyddynt hwy, â'i fawredd erioed.
3 Y rhai a lywodraethasant ar eu teyrna-
soedd, ac oeddynt wŷr enwog o allu, yn
cynghori yn synhwyrol, ac yn traethu pro-
phwydoliaethau;
4 Blaenorwŷr y bobl trwy eu cyngor, a
thrwy ddeall addysg y bobl; doethion ac
ymadroddus oeddynt yn eu hathrawiaeth;

5 Hwy a geisiasant allan felusdra cerdd, ac
a draethasant ganadau 'sgrifenedig;
6 Gwŷr cyfoethogion cedyrn o nerth, a
heddychlon yn eu cartref oeddynt hwy.
7 Y rhai hyn oll yn eu cenhedlaethau a
gawsant ogoniant, a gorfoledd yn eu dy-
ddiau.
8 Bu *rai* o honynt hwy gyfryw ag a adaw-
sant enw *ar eu hol*, fel y mynegid *eu* clod
*hwynt.*
9 Bu hefyd rai heb fod coffa am danynt,
a Gen. 7. 22. [a] y rhai y darfu am danynt fel pe na buasent,
ac a aethant fel pe na's ganesid hwynt, a'u
plant ar eu hol hwynt.
10 Eithr gwŷr trugarog oedd y rhai hyn,
cyfiawnder pa rai ni's anghofiwyd.
11 Gyd â'u hiliogaeth hwynt yr erys eti-
feddiaeth dda; y mae eu hiliogaeth hwynt
yn y cyfammod hefyd.
12 Y mae eu hiliogaeth hwynt yn y cyf-
† er eu mwyn. ammod, a'u plant † ar eu hol.
13 Byth y pery eu hiliogaeth; a'u gogo-
niant ni ddilëir.
14 Eu cyrph a gladdwyd mewn heddwch;
ac y mae eu henw yn byw byth.
b Pen. 39. 10. 15 [b] Y bobl a fynegant eu doethineb
hwy, a'r gynnulleidfa a draetha eu clod
hwynt.
c Gen. 5. 24. 16 [c] Enoch a ryglyddodd fodd i Dduw,
Pen. 49. 14. ac a fudwyd ymaith, yn siampl o edifeirwch
Heb. 11. 5. i'r cenhedlaethau oll.
d Gen. 6. 9. 17 [d] Noah a gafwyd yn berffaith, *ac* yn
a 7. 1. gyfiawn yn amser digter: efe a gymmerwyd
Heb. 11. 7. yn gyfnewid *am y byd*; am hynny *pan* fu y
diluw y gadawyd ef yngweddill i'r ddaear.
e Gen. 9. 11. 18 [e] Cyfammod tragywyddol a wnaed ag
ef, na ddifethid pob cnawd trwy ddiluw
*mwy.*
f Gen 12. 19 Abraham sydd [f] dad mawr i lawer o
2, 3, a 15. genhedloedd; ac ni chafwyd ei fath ef mewn
5. a 17. 4. gogoniant:
20 Yr hwn a gadwodd gyfraith y Goru-
chaf, ac a ddaeth mewn cyfammod ag
g Gen. 21. 4. ef. Efe a osododd y cyfammod yn [g] ei
gnawd; ac wrth ei brofi efe a gafwyd yn
ffyddlon.
21 Am hynny y sicrhaodd efe iddo ef
h Gen. 22. trwy [h] lw, y bendithid y Cenhedloedd yn ei
16, 17, 18. had ef, yr amlhëid ef fel llwch y ddaear, ac
Gal. 3. 8. y dyrchefid ei had ef fel y ser, ac y caent
hwy etifeddu o fôr i fôr, ac o'r afon i eithaf
y ddaear.
i Gen. 26. 3. 22 Felly [i] y sicrhaodd efe i Isaac (er
mwyn Abraham ei dad) fendith pob dŷn,
a'r cyfammod,
k Gen. 27. 23 Ac [k] a wnaeth iddo orphwyso ar ben
28. a 28. 14. Jacob. Efe a'i hadnabu ef gan ei fendithio,
ac a roddodd iddo ef etifeddiaeth ac a neill-
duodd ei ran ef, ac a'i rhannodd yn mysg y
deuddeg llwyth.

## PEN. XLV.

Sech. 16. B. 1 *Clod Moses,* 6 *ac Aaron,* 23 *a Phinees.*

AC efe a ddug allan o hono ef wr trugarog,
yr hwn a gafodd ffafr yngolwg pob
a Exod. 11. 3. cnawd, sef [a] Moses, yr hwn oedd hoff gan
Act. 7. 22. Dduw a dynion, yr hwn y mae ei goffa-
dwriaeth yn fendigedig.
2 Efe a'i gwnaeth ef yn debyg i'r Saint
gogoneddus, ac a'i mawrygodd ef, gan beri
i'w elynion ei ofni ef.
3 Trwy ei eiriau ef y gwnaeth efe i ryfed-
b Exod. dodau beidio, ac a'i gwnaeth ef [b] yn ogo-
pen. 6, 7, 8, neddus yngolwg brenhinoedd: efe a roddes
9, 10. gyd ag ef orchymyn i'w bobl, ac a ddango-
sodd iddo ef ran o'i ogoniant.

4 [c] Efe a'i sancteiddiodd ef yn ei ffydd- c Num. 12. 3.
londeb a'i larieidd-dra, ac a'i dewisodd ef o
blith yr holl ddynion.
5 Efe a wnaeth iddo glywed ei lais ef, ac
a'i dug ef i'r cwmmwl tywyll, ac [d] a roddes d Exod. 19. 7.
orchymynion o'i flaen ef, sef cyfraith bywyd
a gwybodaeth, fel y dysgai efe y cyfammod
i Jacob, a'i farnedigaethau i Israel.
6 Efe [e] a ddyrchafodd Aaron y sanct te- e Exod. 4. 14.
byg iddo ef, ei frawd o lwyth Lefi.
7 Efe a wnaeth ag ef gyfammod tragy-
wyddol, ac a roddes iddo offeiriadaeth ym
mysg y bobl: efe a'i † gwnaeth ef yn dded- † gwych-wyddol â hardd-wisg.
wydd mewn hardd-wisg, ac a'i gwisgodd ef
â gwisg ogoneddus.
8 Efe a'i gwisgodd ef â gogonedd cyf-
lawn, ac a'i gwregysodd ef ‡ ag offer cader- ‡ â gwisgoedd gwerthfawr.
nid, â llawdr, â gwisg laes, ac ag Ephod.
9 Efe a'i hamgylchodd ef a phomgrana-
dau, *ac* â chlych aur lawer o amgylch, [f] i f Exod. 28. 35.
seinio pan gerddai efe, i wneuthur swn a
glywid yn y Deml, ac i fod yn goffadwria-
eth i feibion ei bobl ef;
10 A gwisg sanctaidd o aur, â sidan glas,
â phorphor, ac amryw waith, â dwyfronneg
barn, ag § arwyddion gwirionedd, § Urim a Thummim.
11 Ac â gwaith cywraint o 'sgarlad ple-
thedig, ac â meini gwerthfawr wedi eu cerf-
io fel sel, a'u gosod mewn aur trwy waith
eurych, ag ysgrifen wedi ei cherfio, er coff-
adwriaeth, yn ol nifer meibion Israel.
12 Ar y meitr *y gosodasai efe* goron o aur,
yn yr hon y cerfiesid Sancteiddrwydd, yn
harddwch anrhydeddus, yn waith godidog,
yn hyfryd i'r llygaid, yn hardd, ac yn dêg.
13 Ni bu y fath o'i flaen ef, ac erioed ni
wisgodd neb dieithr hwynt, ond ei feibion
ef bob amser.
14 [g] Dwy waith yn y dydd yn wastadol g Num. 28. 3, 4.
y poeth-offrymmir eu haberthau hwynt.
15 [h] Moses a'i cyssegrodd ef, ac a'i hen- h Lef. 8.
neiniodd ag olew sanctaidd. A hyn a
wnaed yn gyfammod tragywyddol iddo
ef ac i'w had, cyhŷd ac y parhao'r nef-
oedd, gael o honynt ei wasanaethu ef, ac
offeiriadu hefyd, a [i] bendithio'r bobl yn ei i Num. 6. 23, 24.
Enw ef.
16 Efe a'i dewisodd ef o flaen pob *dŷn*
byw, i offrymmu offrwm i'r Arglwydd,
mwg-darth, a pher-arogl er coffadwriaeth, i
wneuthur cymmod dros y bobl.
17 [k] Efe a roddes iddo ei orchymynion, k Deut. 17. 10. a 21. 5. Mal. 2. 7.
ac yngnghyfammod y gyfraith awdurdod, i
ddysgu ei dystiolaethau ef i Jacob, ac i
egluro ei gyfraith ef i Israel.
18 [l] Dieithriaid a gyd-safasant i'w erbyn l Num. 16. 1.
ef, ac a genfigennasant wrtho ef yn yr
anialwch, sef y gwŷr oedd gyd a Dathan ac
Abiram, a chynnulleidfa Core, mewn llid a
digter.
19 Yr Arglwydd a welodd hyn, ac ni bu
foddlon; a hwy a ddifethwyd yn llidiowg-
rwydd ei ddigter ef: efe a wnaeth arnynt
wyrthiau, gan eu difetha â fflam dân.
20 Eithr [m] efe a roddes ychwaneg o ogon- m Num. 17. 8.
iant i Aaron, ac a roddes iddo etifeddiaeth;
blaen-ffrwyth y cyntaf-anedig a rannodd efe
iddo; yn enwedig efe a arlwyodd ddigon o
fara:
21 O blegid y maent hwy yn cael bwyt-
ta o aberthau'r Arglwydd, y rhai a roddes
efe iddo ef ac i'w had.
22 Eithr [n] ni roddes efe etifeddiaeth iddo n Num. 18. 20.
ef o dir y bobl, ac nid oedd iddo ef etifedd- Deut. 12. 12. a 18. 1, 2.
iaeth ym mysg y bobl: o blegid efe ei hun
yw rhan ei etifeddiaeth ef.

o Num. 15. 11, 12, 13. 1 Mac. 2. 54.

23 o Phinees mab Eleazar oedd y trydydd mewn gogoniant; am iddo ddwyn zel yn ofn yr Arglwydd, a sefyll i fynu ag ewyllys da a pharod, a gwneuthur cymmod dros Israel, pan droisai'r bobl ymaith.

24 Am hynny y gwnaeth efe ag ef gyfammod heddychlon, y cai efe fod yn bennaf ar y cyssegr ac ar ei bobl, fel y byddai braint yr offeiriadaeth iddo ef ac i'w had byth.

25 Yn ol y cyfammod a wnaethid â Dafydd mab Jesse o lwyth Judah, y byddai etifeddiaeth y brenhin i'w eppil ef yn unig, ac y byddai etifeddiaeth Aaron i'w had ef yr un modd.

26 Rhodded *Duw* ddoethineb yn eich calon chwi, i farnu ei bobl ef yn gyfiawn, fel na ddileer eu daioni hwynt, ac y parhao eu gogoniant hwy trwy eu cenhedlaethau.

## PEN. XLVI.

Tach. 16. P. h. w. 20.

1 *Clod Joshua,* 9 *Caleb,* 13 *a Samuel.*

a Num. 27. 18. Deut. 34. 9. Jos. 1. 2. a 12. 7.

CRYF mewn rhyfel oedd Jesus [a] mab Nafe, a dilynwr Moses mewn prophwydoliaethau; yr hwn yn ol ei enw oedd fawr, er iachawdwriaeth i etholedigion Duw, ac i ddial ar y gelynion a gyfodent i'w herbyn hwynt, fel y cai Israel ei etifeddiaeth.

2 Pa ogoniant a gafodd efe yn dyrchafu ei ddwylaw, ac yn tynnu ei gleddyf yn erbyn y dinasoedd!

† *yr Arglwydd ei hun a ddug ei elynion atto ef.*

3 Pwy o'i flaen ef a safodd felly? canys † efe oedd dywysog ar ryfel yr Arglwydd.

b Jos. 10. 12, 13, 14.

4 b Onid trwy ei waith ef y safodd yr haul, ac y gwnaed un diwrnod cyhŷd a dau?

5 Efe a alwodd ar y Llywydd goruchaf, pan oedd y gelynion yn pwyso arno ef o bob parth: a'r mawr Ior a'i gwrandawodd ef.

‡ *cenllysg.*

6 Ac â cherrig ‡ cessair mawr allu, efe a ruthrodd ar y cenhedloedd â rhyfel, ac yngorwared *Bethoron* efe a ddifethodd y gwrthwynebwŷr; fel y gallai y cenhedloedd adnabod ei holl arfogaeth ef, mai o flaen yr Arglwydd yr oedd efe yn rhyfela, o blegid efe oedd yn canlyn ar ol y Galluog.

c Num. 14. 6. 1 Mac. 2. 55, 56.

7 c Yn amser Moses hefyd y gwnaeth efe â Chaleb hefyd fab Jephunne waith elusen, gan sefyll yn erbyn y gynnulleidfa, ac attal y bobl rhag pechu, a lluddio y grwgnach drygionus.

d Num. 26. 65. Deut. 1. 35, 36.

8 d A hwynt-hwy ill dau a ddïangasant, o chwe chân mil o wŷr traed, i'w dwyn hwynt i mewn i'r etifeddiaeth, sef i'r wlad oedd yn llifeirio o laeth a mel.

e Num. 14. 24. Jos. 14. 11.

9 e I Caleb hefyd y rhoddes yr Arglwydd gryfder, yr hwn a barhaodd gyd ag ef hyd ei henaint; fel yr aeth efe i uchelder y wlad, a'i had ef a'i gorescynnodd hi yn etifeddiaeth:

10 Fel y gallai holl feibion Israel weled mai da yw dilyn yr Arglwydd.

11 Y barnwŷr hefyd bob un erbyn ei enw, y rhai oll ni phutteiniodd eu calon, a pha rai bynnag ni throisant oddi wrth yr Arglwydd, bydded eu coffadwriaeth hwynt yn fendigedig.

f Pen. 49. 10.

12 Bydded f eu hesgyrn yn iraidd yn eu lle, a bydded eu henw hwynt, y rhai oedd anrhydeddus, yn aros ar eu plant.

g 1 Sam. 10. 1. a 16. 13.

13 g Samuel, prophwyd yr Arglwydd, yr hwn oedd hoff gan ei Arglwydd, a osododd frenhiniaethau, ac a enneiniodd dywysogion ar ei bobl ef.

14 Trwy gyfraith yr Arglwydd y barnodd efe y gynnulleidfa; a'r Arglwydd a ystyriodd wrth Jacob.

15 Efe a gafwyd yn wir brophwyd wrth ei fydd, ac efe a adnabuwyd wrth ei eiriau ei fod yn ffyddlon mewn gweledigaeth.

16 Ac efe a alwodd ar yr Arglwydd galluog, pan oedd ei elynion ef o amgylch yn pwyso arno wrth offrymmu h yr oen sugno. h 1 Sam. 7.

17 A'r Arglwydd a daranodd o'r nefoedd, 9.
ac a wnaeth glywed ei leferydd â swn mawr.

18 Felly y drylliodd efe dywysogion y Tyriaid, a holl bennaethiaid y Philistiaid.

19 A chyn amser ei hir hûn, efe i a dy- i 1 Sam. 12.
stiolaethodd o flaen yr Arglwydd a'i en- 3.
neiniog, Ni chymmerais o ddâ neb, gymmaint ag esgid. Ac nid achwynodd neb rhagddo ef.

20 Ac wedi iddo ef huno, k efe a broph- k 1 Sam. 28.
wydodd, ac a ddangosodd i'r brenhin ei 18, 19.
ddiwedd, ac a ddyrchafodd ei lef o'r ddaear mewn prophwydoliaeth, i ddilëu anwiredd y bobl.

## PEN. XLVII.

1 *Clod Nathan,* 2 *Dafydd.* 12 *Gogoniant* Tach. 17. B.
*Salomon, a'i wendid;* 23 *A'i ddiwedd, a'i gospedigaeth.*

WEDI hyn y cyfododd y prophwyd
a Nathan yn nyddiau Dafydd. a 2 Sam. 12.
2 Fel y neillduir y brasder oddi wrth yr 1. 1 Chron. 17.
offrwm, felly y dewiswyd Dafydd o feibion Israel.

3 Efe a † chwareuodd â b llewod megis † *darawodd lewod.*
â mynnod, ac ag eirth megis ag ŵyn de- b 1 Sam. 17.
faid. 34.

4 c Oni laddodd efe gawr yn ei ieuengc- c 1 Sam. 17.
tid? ac oni thynnodd efe ymaith wara- 49, 50, 51.
dwydd y bobl, pan gyfododd efe ei law â charreg dafl, a bwrw i lawr falchder Goliah?

5 Canys efe a alwodd ar yr Arglwydd goruchaf, ac yntau a roddes nerth i'w ddeheulaw ef, i ladd y dŷn cryf yn y rhyfel, fel y dyrchafai efe gorn ei bobl.

6 Felly *y bobl* a'i hanrhydeddodd yntau â
d myrddiwn, ac a'i cammolodd ym mendi- d 1 Sam. 18.
thion yr Arglwydd, pan roes iddo ef goron 7.
y gogoniant.

7 e Efe a ddrylliodd y gelynion o amgylch, e 2 Sam. 5.
ac a ddifethodd y Philistiaid oedd wrthwy- 7. a 8. 1,
nebwŷr *iddo*, ac a ddrylliodd eu corn hwy &c.
hyd heddyw.

8 Yn ei holl waith y rhoddes efe glodforedd i'r hwn sydd Sanctaidd a Goruchaf; â geiriau anrhydeddus, ac â'i holl galon y canodd efe ganiadau, ac y carodd ef yr hwn a'i gwnaeth.

9 Ac f efe a osododd gantorion o flaen yr f 1 Chron.
allor, fel y gwnaent gerdd felus ar ea- 16. 4.
fod, ac y clodforent *Dduw* beunydd â'u caniadau.

10 Efe a roddes drefn weddaidd am y gwyliau, ac a gymhwysodd yr amserau yn berffaith, fel y clodforent hwy ei enw sanctaidd ef, ac y gwnaent i'w Gyssegr ef seinio yn fore.

11 g Yr Arglwydd a ddileodd ei becho- g 2 Sam.
dau ef, ac a ddyrchafodd ei gorn ef byth, 12. 13.
ac a roddes iddo gyfammod y frenhiniaeth,
a gorsedd-fainge ‡ gogoniant yn Israel. ‡ *teyrnas.*

12 Ar ol hwn y cododd mab doeth, ac a breswyliodd mewn ehangder er ei fwyn ef.

13 h Salomon a deyrnasodd mewn amser h 1 Bren. 4.
heddychlon, ac a oedd anrhydeddus: canys 21, 24.
Duw a barasai lonyddwch o'i amgylch ef, fel yr adeiladai efe dŷ i'w Enw ef, ac y darparai Gyssegr dros fyth.

[i] 1 Bren. 4. 29, 30. 14 [i] Mor ddoeth † oedd efe yn ei ieu-
† *oeddynt yn dy.* engctid, a megis afon yn llawn o syn-
wyr!
15 Dy enaid a orchuddiodd yr holl ddaear,
ac a'i llanwodd â diarhebion damhegol.
16 Dy enw a aeth ym mhell i'r ynysoedd;
a chu oeddit am dy heddwch.
[k] 1 Bren. 4. 31, 32. 17 [k] Rhyfeddodd y gwledydd wrth dy
ganiadau, a'th ddiarhebion, a'th gyffelyb-
iaethau, a'th ddeongliadau.
18 Trwy Enw Arglwydd Dduw yr holl
ddaear, yr hwn a elwir dy Dduw di Israel,
[l] 1 Bren. 10. 27. [l] y cesglaist ti aur fel alcam, ac y cefaist
arian cyn amled a'r plwm.
[m] 1 Bren. 11. 1. 19 [m] Ti a ogwyddaist dy lwynau i wra-
gedd, ac a'th ddarostyngwyd yn dy gorph.
20 Ti a anefaist dy ogoniant, ac a ha-
‡ *had.* logaist dy ‡ hiliogaeth, gan ddwyn digo-
faint yn erbyn dy blant, a dwyn gofid am
dy ynfydrwydd.
[n] 1 Bren. 12. 15, 16, 17. 21 Felly [n] y rhannwyd y frenhiniaeth, ac
y dechreuodd brenhiniaeth anufuddgar fod
o Ephraim.
[o] 2 Sam. 7. 15. 22 [o] Er hynny ni ad yr Arglwydd ei dru-
garedd ymaith byth, ac ni ddifethir un o'i
weithredoedd ef, ac ni ddilea efe hiliogaeth
§ *had.* ei etholedig, ac ni ddwg ymaith § eppil yr
hwn a'i càr ef: o ba herwydd efe a adawodd
weddill i Jacob, a gwreiddyn i Ddafydd, o
hono ef.
23 Yna Salomon a orphwysodd gyd â'i
dadau, ac a adawodd o'i hiliogaeth ar ei ol,
Roboam ynfydrwydd y bobl, ac un disyn-
[p] 1 Bren. 12. 10, 11, 13, 14. wyr, yr hwn [p] a yrrodd y bobl ymaith â'i
gyngor. Ac yr oedd Jeroboam mab Nebat,
yr hwn [q] a wnaeth i Israel bechu, ac a ddan-
[q] 1 Bren. 12. 28, 30. gosodd y ffordd i Ephraim i bechu:
24 A'u pechodau hwy a amlhasant mor
[r] 2 Bren. 17. 18. ddirfawr, hyd oni [r] throdd efe hwynt allan
o'r wlad.
25 Canys hwy a geisiasant allan bob an-
wiredd, hyd oni ddaeth dig a dïaledd ar-
nynt.

## PEN. XLVIII.

Tach. 17. P. 1 *Clod Elias, 12 ac Eliseus, 17 ac Eze-
cïas.*

[a] 1 Bren. 17. 1. YNA y cododd [a] Elïas y prophwyd fel
tân, a'i air ef a losgai fel llusern.
[b] Iago 5. 17. 2 [b] Yr hwn a ddug arnynt hwy newŷn
mawr, a thrwy ei zel a'u gwnaeth hwy yn
ychydig.
3 Efe a gauodd y nefoedd trwy air yr
[c] 1 Bren. 18. 38. Arglwydd, a [c] thair gwaith y dug efe dân
2 Bren. 1. 10, 12. i wared.
4 O Elïas, mor ogoneddus fuost ti yn dy
ryfeddodau! a phwy a ddichon ymffrostio
fel tydi!
[d] 1 Bren. 17. 21, 22. 5 Yr hwn [d] a gyfodaist y marw o far-
† *a'i enaid o le y meirw.* wolaeth, † a dŷn o'r bedd, trwy air y
Goruchaf;
[e] 2 Bren. 1. 16. 6 Yr hwn [e] a ddygaist frenhinoedd i
ddinystr, a phendefigion o'u ‡ heisteddfa;
‡ *gwelyau.* 7 Yr hwn a glywaist gerydd yr Ar-
[f] 1 Bren. 19. 17. glwydd yn Sinai, a barnedigaethau dïaledd
[f] yn Horeb;
[g] 1 Bren. 19. 15, 16. 8 Yr hwn [g] a enneiniodd frenhinoedd i
dalu'r pwyth, a phrophwydi i ddilyn ar
ei ol ef;
[h] 2 Bren. 2. 11. 9 [h] Yr hwn a godwyd i fynu mewn
tro-wynt o dân, ac mewn cerbyd meirch
tanllyd;
[i] Mal. 4. 5, 6. 10 Yr hwn a ordeiniwyd [i] i geryddu
Luc 1. 17. mewn pryd, ac i ostegu digter barn yr Ar-
glwydd, cyn iddo dorri allan yn llid, ac i
§ *sicrhâu.* droi calon y tad at y mab, ac i § gyweirio
llwythau Jacob.

11 Gwŷn eu byd hwy a'th welsant di, ac
a ‖ hunasant mewn cariad: canys nyni a ‖ *harddwyd â chariad.*
fyddwn byw yn ddïau.
12 [k] Elïas a orchuddiwyd â thro-wynt: [k] 2 Bren. 2. 11, 15.
Ac Elizëus a lanwyd â'i yspryd ef. [l] Ni
syflodd efe er tywysogion yn ei ddyddiau, [l] 2 Bren. 3. 14.
ac ni allodd neb ei ddarostwng ef.
13 Ni orchfygodd † dim ef: ac [m] wedi † *un gair.*
ei huno, ei gorph ef a brophwydodd. [m] 2 Bren. 13. 21.
14 Efe a wnaeth ryfeddodau yn ei fy-
wyd; ac yn ei ddiwedd rhyfedd oedd ei
weithredoedd ef.
15 Er hyn oll ni chymmerodd y bobl
edifeirwch, ac ni chiliasant oddi wrth eu
pechodau, [n] hyd oni chaeth-gludwyd hwynt [n] 2 Bren.
o'u gwlad, a'u gwasgaru ym mhob gwlad. 18. 11, 12.
Etto gadawyd ychydig bobl, a thywysog yn
nhŷ Ddafydd.
16 Rhai o honynt hwy a wnaethant yr
hyn oedd yn rhyglyddu bodd i Dduw, a
rhai a wnaethant lawer o bechodau.
17 [o] Ezecïas a gadarnhaodd ei ddinas, ac [o] 2 Chron. 32. 5.
[p] a ddug ddwfr i'w chanol hi. Efe a glodd-
iodd y graig â haiarn, ac a wnaeth ffyn- [p] 2 Bren. 20. 20.
honnau i'r dwfr.
18 Yn ei ddyddiau ef [q] y daeth Senache- [q] 2 Bren.
rib i fynu, ac a anfonodd Rabsaces o Lachis, 18. 13.
ac a ddyrchafodd ei law yn erbyn Sïon, ac Esay 36. 1.
a ymffrostiodd yn ei falchder.
19 Yna y crynodd eu calonnau a'u dwy-
law hwynt, ac yr ymofidiasant fel gwragedd
yn esgor.
20 Ond hwy a alwasant ar yr Arglwydd
trugarog, gan estyn eu dwylaw atto ef, a'r
Sanctaidd a'u gwrandawodd hwy o'r nef-
oedd, ac a'u gwaredodd hwy trwy law Esay.
21 [r] Efe a darawodd lu yr Assyriaid, a'i [r] 2 Bren.
Angel ef a'u dinystriodd hwynt. 19. 35.
22 O blegid Ezecïas a wnaethai yr hyn Esay 37. 36.
oedd foddlon gan yr Arglwydd, ac a ddi- Tob. 1. 18.
lynodd ffyrdd Dafydd ei dad yn lew, fel y 1 Mac. 7. 41.
gorchymynasai y prophwyd Esay, yr hwn 2 Mac. 8.
oedd fawr a ‡ pharchedig yn ei olwg ef. 19.
23 [s] Yn ei ddyddiau ef yr aeth yr haul yn ‡ *ffyddlon yn ei weledigaeth.*
ei ol, ac efe a estynnodd hoedl y brenhin.
24 Trwy yspryd godidog y gwelodd efe [s] 2 Bren.
y pethau a fyddent yn y diwedd, ac y cys- 20. 10, 11.
urodd efe y rhai oedd yn galaru yn Sïon. Esay 38. 8.
25 Efe a ddangosodd y pethau a ddeuai
byth, a phethau dirgel cyn eu dyfod.

## PEN. XLIX.

1 *Clod Josias, 4 a Dafydd, ac Ezecïas, 6 a* Tach. 18. B.
*Jeremi, 8 ac Ezeciel, 11 a Zorobabel, 12
a Jesus fab Josedec, 13 Nehemïah, Enoch,
Seth, Sem, ac Adda.*

COFFADWRIAETH [a] Josias fydd fel [a] 2 Bren.
cymmysg arogl-darth trwy gyfarwydd 22. 1.
waith yr apothecari: melus ydyw fel y mel 2 Chron. 34. 3.
ym mhob genau, ac fel † cerdd mewn gwledd † *music.*
o win.
2 Efe a ‡ gafodd rwydd-deb yn troi'r ‡ *a ymddug yn uniawn yn nychweliad.*
bobl, ac a ddug ymaith ffieidd-dra an-
wiredd.
3 [b] Efe a gyfeiriodd ei galon at yr Ar-
glwydd, ac a gadarnhaodd dduwioldeb yn [b] 2 Bren. 23. 4.
amser pechaduriaid. 2 Chron.
4 Pawb ond Dafydd, Ezecïas, a Josias, 34. 3.
a wnaethant fai: canys hwy a adawsant
gyfraith y Goruchaf; brenhinoedd Judah
hefyd a ballasant.
5 Yntau a roddes eu § corn hwynt i § *gallu.*
arall, a'u gogoniant i genedl ddïeithr. [c] 2 Bren.
6 [c] Hwy a losgasant ddinas etholedig y 25. 9.
Cyssegr, ac a anrheithiasant ei heolydd hi, 2 Chron. 36. 19.
yn ol prophwydoliaeth Jeremias.

d Jer. 42. 6. 7 Canys d ei gystuddio ef a wnaethant,
e Jer. 1. 5, 10. ac yntau e wedi ei sancteiddio yn brophwyd
o groth ei fam, i ddiwreiddio, a niweidio, a
difetha; felly hefyd i adeiladu, ac i blannu.
f Ezec. 1. 3, 15. 8 f Ezeciel yntau a welodd weledigaeth
ogoneddus, yr hon a ddangoswyd iddo ef
ar gerbyd y Cerubiaid.
g Ezec. 13. 11. a 38. 9, 15, 22. 9 Efe g a goffaodd y gelynion yn y gafod,
ac a gyfarwyddodd y rhai uniawn eu
ffyrdd.
10 Felly bendigedig fyddo coffadwriaeth
h Pen. 46. 12. y deuddeg prophwyd, ac h ireiddied eu hes-
gyrn o'u lle: canys hwy a gysurasant Jacob,
ac a'u gwaredasant â gobaith sier.
i Ezra 3. 2. Hag. 2. 24. 11 Pa fodd y mawrygwn ni i Zorobabel?
yntau oedd megis sel ar y llaw ddehau:
k Ezra 3. 2. Hag. 1. 12. a 2. 2. Zech. 3. 1. 12 Felly k Jesus fab Josedec: y rhai yn
eu dyddiau a adeiladasant y tŷ, ac a gyfo-
dasant Deml sanctaidd i'r Arglwydd, yr
hon a ddarparwyd yn ogoniant tragywyd-
dol.
l Neh. 7. 1. 13 l Nehemïas hefyd oedd o'r rhai etho-
ledig, am yr hwn y mae mawr goffa; yr
hwn a gododd i ni y caerau a syrthiasai, ac
a osododd i fynu y pyrth a'r barrau, ac a gy-
† Carnecdi. fododd ein † tai ni.
m Gen. 5. 24. 14 Ni chrëwyd ar y ddaear fath m Enoch:
canys efe a gyfodwyd i fynu oddi ar y
Pen. 44. 16. Heb. 11. 5. ddaear.
15 Ac ni bu y fath wr a n Joseph, yr hwn
n Gen. 41. 41. a 42. 6. a 45. 8. a 50. 20. oedd bennaeth ar ei frodyr, a chynhaliwr
y bobl, yr hwn yr edrychodd yr Arglwydd
am ei esgyrn.
o Gen. 5. 3, 32. a 11. 10. 16 o Sem a Seth a gawsant barch gan
ddynion: ac Adda oedd yn y greadwriaeth
goruwch pob peth byw.

## PEN. L.

Tach. 18. P. 1 *Am Simon mab Onias.* 22 *Y modd y dysgwyd i'r bobl foliannu Duw, a gweddio.* 27 *Y diwedd.*

† 2 Mac. 3. 4. SIMON yr Arch-offeiriad mab † Onias,
yr hwn yn ei fywyd a gyfododd y tŷ,
ac yn ei ddyddiau a sicrhaodd y bobl.
2 Efe a barodd o'r sylfaen adeiladu'r
uchder dau-ddyblyg, a'r fagwyr uchel, o
amgylch y Deml.
a 1 Bren. 7. 23. 3 Yn ei ddyddiau ef, a y noe i dderbyn
dwfr, yr hon oedd o'i hamgylch fel y môr, a
wisgwyd â dalennau pres.
‡ deml rhag ei syrthio. 4 Efe a gymmerth ofal dros y ‡ bobl rhag
eu difetha, ac a gadarnhaodd y ddinas er-
byn gwarchae arni.
5 Mor ogoneddus oedd efe ynghanol y
§ cyssegr. bobl wrth ddyfod allan o'r § tŷ dan or-
chudd!
6 Fel y seren ddydd ym mysg y cym-
mylau, ac fel y lleuad yn ei llawn llonaid,
yr ydoedd efe;
7 Fel yr haul yn tywynnu ar Deml y
Goruchaf, ac fel yr enfys yn llewyrchu yn
y cymmylau disglair;
8 Ac fel blodau rhos pan fyddant ne-
wydd; fel lili wrth aberoedd dyfroedd, a
blagur y pren thus yn amser haf;
9 Fel tân a thus mewn thusser, fel llestr o
aur wedi ei wneuthur o'r un darn, a'i harddu
â phob maen gwerthfawr;
10 Fel olewŷdden dêg ffrwythlawn, ac
fel cypres-wŷdden wedi tyfu i'r awyr:
11 Pan gymmerai efe y wisg ogoneddus,
a phan wisgai efe yr hyfrydwch perffaith,
wrth fyned i fynu at yr Allor sanctaidd yn
anrhydeddus.
|| darnau. 12 Pan gymmerai efe || yr aelodau o law
'r offeiriaid, efe a safai wrth aelwyd yr
allor, a'i frodyr o'i amgylch, fel cedr-
wŷdden yn Libanus, a hwy a'i hamgylch-
ent ef fel cangennau palm-wŷdd.
13 Felly y *byddai* meibion Aaron oll yn
eu gwychder, ac offrwm yr Arglwydd yn eu
dwylaw; o flaen holl gynnulleidfa Israel.
14 Gan orphen y gwasanaeth wrth yr
allor, i wneuthur offrwm yr Holl-alluog
goruchaf yn hardd,
15 Efe a estynnai ei ddwylaw at y ddïod-
offrwm, ac a gymmysgai beth † o'r gwin, † *o waed y grawnwin.*
ac a'i tywalltai wrth droed yr allor yn arogl
peraidd, i'r hwn sydd oruchaf Frenhin ar
bawb.
16 Yna meibion Aaron a waeddent, ac
a seinient mewn udgyrn ‡ tawdd, ac a ‡ *Neu, arian, neu, wedi eu llunio â morthwyl.*
wnaent swn mawr eglur, yn goffadwriaeth o
flaen y Goruchaf.
17 Yna yr holl bobl a gyd-syrthient i
lawr ar eu hwynebau ar frys, i addoli eu
Harglwydd, y goruchaf Dduw holl-alluog.
18 Y cantorion hefyd a glodforent â'u
lleisiau, ac a wnaent gynghanedd felus trwy
eu hamryw seiniau.
19 A'r bobl a ymbilient â'r Arglwydd
Goruchaf trwy weddi ger bron y Trugarog,
nes cyflawni anrhydedd yr Arglwydd, a gor-
phen ei wasanaeth ef.
20 Yna efe a ddisgynnai, ac a ddyrchafai
ei ddwylaw ar holl gynnulleidfa meibion
Israel, i draethu bendith yr Arglwydd â'i
wefusau, ac i ymorfoleddu yn ei Enw ef.
21 A hwy a ymgrymment i addoli eil-
waith, i dderbyn y fendith gan y Goruchaf.
22 Yn awr gan hynny bendigwch Dduw
pob peth, yr hwn yn unig a wna ryfeddod
ym mhob man, yr hwn a ddyrchafa ein
dyddiau ni o'r groth, yr hwn yn unig
sydd yn gwneuthur â nyni yn ol ei druga-
redd.
23 Caniattäed efe i ni hyfrydwch calon, a
bod heddwch yn ein dyddiau ni yn Israel
byth,
24 A chadarnhâu o hono ef ffyddlondeb
ei drugaredd i ni, a'n gwaredu ni yn ei am-
ser ef.
25 Dwy genhedlaeth sydd ffin gan fy
enaid, a'r drydedd nid yw genhedlaeth.
26 Y rhai a eisteddant ym mynydd Sama-
ria, a'r rhai a breswyliant § Palestina, a'r § *ym mysg y Philistiaid.*
bobl ynfyd y rhai a drigant yn Sichem.
27 Jesus mab Sirach o Jerusalem a 'sgri-
fennodd yn y llyfr hwn athrawiaeth deall a
gwybodaeth, yr hwn a wlawiodd ddoethi-
neb o'i galon.
28 Gwyn ei fyd yr hwn a ymgynnefino
â'r rhai hyn; a'r hwn a'u gosodo hwynt yn
ei galon a fydd doeth.
29 O blegid os gwna efe y pethau hyn,
efe a fydd nerthol i bob peth: canys goleuni
'r Arglwydd a fydd yn gyfarwyddyd iddo ef,
ac i'r rhai duwiol y rhoddes efe ddoethineb.
Bendigedig fyddo yr Arglwydd byth. Felly
y byddo, felly y byddo.

## PEN. LI.

¶ Gweddi Jesus fab Sirach. Tach. 19. B. S. Luc, B.

CLODFORAF di, O Arglwydd Frenhin;
a moliannaf di, fy Nuw a'm Hiach-
awdwr; dy Enw di a glodforaf.
2 O blegid ti sydd yn amddiffynydd ac
yn help i mi, ac a waredaist fy nghorph i
rhag dinystr, a rhag magl tafod enllibus,
rhag gwefusau a ddychymmygant gelwydd;
ie yn erbyn y rhai sydd yn cyfodi i'm her-
byn yr ydwyt ti yn help i mi;

3 Gwaredaist fi yn ol amldra dy druga-
† *ysgyrnygiad dannedd.* redd a mawredd dy Enw rhag † dannedd y
rhai oedd barod i'm bwytta, ac o law y rhai
oedd yn ceisio fy enaid i, ac o lawer o flin-
derau y rhai a gefais i;
4 Rhag i'r tân fy mygu o amgylch, *ac* o
ganol y tân yr hwn ni's cynneuais;
5 Felly *y'm gwaredaist* o waelod bòl uffern,
rhag tafod aflan, a rhag chwedl celwyddog.
6 A rhag anair gyd â'r brenhin trwy
dafod anghyfiawn, fy enaid a aeth yn agos
i angau, a'm heinioes oedd yn agos i uffern
isaf.
7 Hwy a'm hamgylchynasant i o bob tu,
ac nid oedd a'm helpiai: mi a edrychais am
help dŷn, ac nid oedd *dim*.
8 Am hynny mi a gofiais dy drugaredd
di, O Arglwydd, a'th weithredoedd gynt, dy
‡ *a ddisgwyl'iant wrthyt.* fod di yn achub y rhai ‡ dioddefgar, ac yn
eu hachub hwynt o law y gelynion.
9 A mi a ddyrchefais fy ngweddi o'r
ddaear, ac a ddeisyfiais ymwared rhag mar-
wolaeth:
10 Ac a ddeisyfiais ar yr Arglwydd tad
fy Arglwydd, na adawai efe fyfi yn nydd
§ *yn amser y beilchion, pan nid oedd help.* trallod, § y pryd ni cheid help gan y beil-
chion.
11 Mi a foliannaf dy Enw di yn wastadol,
ac a'th glodforaf di yn fy nghyffes, a'm
gweddi a wrandawyd.
12 O blegid ti a'n cedwaist ni rhag di-
nystr, ac a'm gwaredaist i o'r amser drwg:
am hynny y clodforaf a moliannaf di, ac a
fendithiaf dy Enw, O Arglwydd.
|| *i mi fyned ar lêd.* 13 A myfi etto yn ieuangc, cyn || fy
nhwyllo, mi a ofynnais ddoethineb yn eglur
yn fy ngweddi.
14 O flaen y Deml y gweddïais i am dani
hi, a hyd y diwedd y ceisiaf hi.
15 Ië o'r blodeuyn, nes addfedu 'r grawn-
win, yr ymhyfrydodd fy nghalon ynddi, Fy
nhroed a rodiodd yn uniawn; mi a'i hol-
rheiniais hi o'm hieuengctid.
16 Mi a ostyngais ychydig ar fy nghlust,
ac a'i derbyniais *hi*, ac a gefais lawer o
ddysg.
17 Mi a euthum rhagof ynddi hi: *am
hynny* i'r hwn a roddes i mi ddoethineb y
rhoddaf fi y gogoniant.
18 O blegid mi a roddais fy mryd ar
wneuthur ar ei hol hi, a dilyn daioni; ac
felly ni'm gwaradwyddir.
19 Fy enaid a ymdrechodd â hi, ac mi a
fum ddiwyd yn fy ngweithredoedd. Mi a
estynnais fy nwylaw tu a'r nef i fynu, ac
† a ddeallais beth oedd fod heb ei hadnabod † *mi a alerais am fy anwybodaeth am dani.*
hi.
20 Mi a gyfarwyddais fy enaid atti hi, ac
a'i cefais hi mewn puredd: cefais fy ngha-
lon wedi ei chyssylltu â hi o'r dechreuad;
am hynny ni'm gwrthodir.
21 Fy nghalon a gafodd helbul yn ei
cheisio hi: am hynny mi a gefais gyfoeth da.
22 Yr Arglwydd a roddes dafod yn wobr
i mi, a mi a'i moliannaf ef â hwnnw.
23 Nesewch attafi, O annysgedig, ac ar-
hoswch yn nhŷ athrawiaeth.
24 Paham yr ydych chwi yn ‡ oedi? ‡ *diogi.*
neu beth a ddywedwch chwi am hyn, gan
fod ar eich eneidiau chwi syched mor ddir-
fawr?
25 Mi a agorais fy ngenau, ac a leferais,
[a] Prynwch *hi* i chwi heb arian. [a] Esay 55. 1.
26 Gostyngwch eich gyddfau dan yr iau, a
derbynied eich enaid athrawiaeth: [b] § hawdd [b] Deut. 30. 14.
yw ei chael hi. § *y mae hi yn agos i'w chael.*
27 [c] Gwelwch â'ch llygaid || gymmerydd o
honofi boen, a chael o honofi im' fy hun
esmwythdra mawr. [c] Pen. 6. 19.
28 Mynnwch gyfran o addysg am nifer || *na chymmerais i ond ychydig boen.*
mawr o arian, a meddiennwch aur lawer
trwyddi hi.
29 Llawenyched eich calon yn ei druga-
redd ef, ac na fydded yn gywilydd gennych
ei foliannu ef.
30 Gwnewch eich gwaith mewn pryd,
ac efe a rydd i chwi eich gwobr yn ei
amser.

---

# ¶ BARUCH.

## PEN. I.

Tach. 19. P. 1 *Baruch wedi 'sgrifenu llyfr yn Babilon: 5 a'r modd yr wylodd yr Iuddewon oedd yno, wrth glywed ei ddarllen ef. 7 Yr Iuddewon yn danfon arian, a'r llyfr hefyd i'r brodyr yn Jerusalem.*

DYMA hefyd eiriau 'r llyfr a 'sgrifenodd
Baruch mab Nerïas, fab Maasias, fab
Sedecïas, fab Asadïas, fab Chelcias, yn
Babilon,
2 Yn y bummed flwyddyn, ar y seith-
fed *dydd* o'r mis, yr amser yr ynnillodd
y Caldeaid Jerusalem, ac y llosgasant hi â
thân.
3 A Baruch a ddarllenodd eiriau 'r llyfr
† *Joacim.* hwn lle y clywai Jechonïas mab † Joachim,
brenhin Judah, a lle y clywai'r holl bobl, y
rhai a ddaethai i *wrando*'r llyfr,
4 A lle y clywai 'r holl gedyrn, a holl fei-
bion y brenhin, a lle y clywai 'r henuriaid,
a lle y clywai 'r holl bobl, o'r lleiaf hyd y
mwyaf, y rhai oll oedd yn trigo yn Babilon,
wrth afon Sud.
5 A hwy a wylasant, ac a ymprydiasant,
‡ *addunedasant addunedau.* ac a ‡ weddïasant ger bron yr Arglwydd.
6 Hwy a gasglasant arian hefyd yn ol
gallu pawb;
7 Ac a'i hanfonasant i Jerusalem at
§ Joachim yr offeiriad fab Chelcias, fab § *Joacim.*
Salom, ac at yr holl offeiriaid *eraill*, ac at
yr holl bobl a gafwyd gyd â hwynt yn Jerusa-
lem,
8 Y pryd hynny pan dderbyniodd efe
[a] lestri tŷ'r Arglwydd, y rhai a ddygasid [a] 2 Bren. 24. 13.
o'r Deml, i'w dwyn drachefn i wlad Judah, y 2 Chron.
degfed *dydd* o fis Sifan, *sef* llestri arian, y 36. 10.
rhai a wnaethai Sedecïas mab Josias bre-
nhin Judah;
9 Wedi caeth-gludo o Nabuchodonosor
brenhin Babilon Jechonïas a'r tywysog-
ion, a'r || carcharorion, a'r cedyrn, a phobl || *caethion.*
y wlad o Jerusalem, a'u dwyn hwynt i Ba-
bilon:
10 A hwy a ddywedasant, Wele, ni a an-
fonasom attoch chwi arian; prynwch chwi-
thau â'r arian offrymmau poeth, ac *aber-
thau* dros bechod, ac arogl-darth, a darper-
wch † fwyd-offrwm, ac offrymmwch ar allor † *Gr. manna, ar fai yn lle minchah, sef, bwyd-offrwm.*
yr Arglwydd ein Duw ni;
11 A gweddïwch dros hoedl Nabucho-
donosor brenhin Babilon, a thros hoedl
Balthasar ei fab ef, ar fod eu dyddiau
hwynt ar y ddaear, fel dyddiau 'r ne-
foedd;

12 Ac ar roddi o'r Arglwydd i ni nerth,
a goleuo o hono ef ein llygaid ni, fel y by-
[b] Ezec. 31. 6. ddom ni byw [b] dan gysgod Nabuchodonosor
Dan. 4. 12, 21. brenhin Babilon, a than gysgod Balthasar
ei fab ef, ac y gwasanaethom hwy lawer o
ddyddiau, ac y caffom ffafr yn eu golwg
hwynt.
13 Gweddiwch hefyd drosom ni at yr
Arglwydd ein Duw: o herwydd ni a becha-
som yn erbyn yr Arglwydd ein Duw, ac
ni throdd ei lid a'i ddig ef oddi wrthym ni
etto.
14 Darllenwch hefyd y llyfr yma a anfo-
nasom ni attoch, i'w draethu yn nhŷ'r
Arglwydd ar ddyddiau gwyliau ac ar ddy-
ddiau uchel.
[c] Dan. 9. 7. 15 A dywedwch, [c] Yr Arglwydd ein Duw
Pen. 2. 6. Edrych Neh. 9. 32, &c. ni sydd gyfiawn, i ninnau *y perthyn* gwarth-
rudd goleu, fel *y mae* heddyw i ddynion
*Judah*, ac i drigolion Jerusalem,
16 Ac i'n brenhinoedd, ac i'n tywysog-
ion, ac i'n hoffeiriaid, ac i'n prophwydi,
ac i'n tadau.
[d] Dan. 9. 5. 17 Canys [d] ni a bechasom ger bron yr
Arglwydd ein Duw,
18 Ac a anghredasom iddo ef, ac ni wran-
dawsom ar lais yr Arglwydd ein Duw, i ro-
dio yn ei orchymynion ef, y rhai a roddes
efe o'n blaen ni.
19 Er y dydd y dug yr Arglwydd ein ta-
dau ni o dir yr Aipht hyd y dydd hwn, ni a
fuom anufudd i'r Arglwydd ein Duw, ac a
fuom esgeulus heb wrandaw ar ei lais ef.
[e] Deut. 28. 15. 20 [e] Am hynny y glynodd drwg wrthym
ni, a'r felldith a ordeiniodd yr Arglwydd
wrth Moses ei was, y dydd y dug yr Ar-
glwydd ein tadau ni allan o dir yr Aipht, i
roddi i ni dir yn llifeirio o laeth a mel, fel *y*
*gwelir* heddyw.
21 Ond ni wrandawsom ni ar lais yr Ar-
glwydd ein Duw, yn ol holl eiriau'r pro-
phwydi a anfonodd efe attom ni:
22 Eithr ni a rodiasom bob un wrth fedd-
wl ei galon ddrygionus ei hun, gan wasa-
naethu duwiau dieithr, a gwneuthur dryg-
ioni yngolwg yr Arglwydd ein Duw.

## PEN. II.

Tach. 20. P. *Y weddi a'r gyffes a wnaeth yr Iuddewon yn Babilon, ac a ddanfonasant hwy yn y llyfr a 'sgrifenasai Baruch, at eu brodyr yn Jerusalem.*

AM hynny y cyflawnodd yr Arglwydd ei
air a lefarodd efe yn ein herbyn ni, ac
yn erbyn ein barnwŷr, y rhai a farnent Is-
rael, ac yn erbyn ein brenhinoedd, ac yn
erbyn ein tywysogion, ac yn erbyn gwŷr
Israel a Judah;
2 Gan ddwyn arnom ni ddrygfyd mawr,
y fath ni bu dan y nefoedd oll, fel y mae yn
Jerusalem, yn ol yr hyn a 'sgrifenwyd yng-
hyfraith Moses.
[a] Deut. 28. 53. 3 [a] Y bwyttai dŷn gnawd ei fab ei hun,
a chnawd ei ferch ei hun.
Galar. 2. 20. & 4. 10. 4 Efe a'u rhoddes hwynt hefyd i fod dan
[b] 2 Bren. 24. 2. law [b] yr holl deyrnasoedd sydd o'n ham-
gylch ni, i fod [c] yn waradwyddus ac [d] yn
[c] Esay 43. 28. anghyfanedd ym mysg yr holl bobloedd
sydd o'n hamgylch, lle y gwasgarodd yr Ar-
[d] Jer. 25. 38. glwydd hwynt.
5 Felly y'n † dygwyd ni i wared, ac nid i
† gostyngwyd, ac ni'n dyrchafwyd. fynu, am bechu o honom yn erbyn yr Argl-
wydd ein Duw, heb wrando ar ei lais ef.
6 [e] Ein Harglwydd Dduw ni sydd gyf-
[e] Pen. 1. 15. iawn: i ninnau ac i'n tadau *y perthyn* gwar-
thrudd goleu, fel *y gwelir* heddyw.

7 Canys yr holl ddrygau hyn a ddaeth
arnom ni, y rhai a draethodd yr Arglwydd
yn ein herbyn ni.
8 Ac [f] ni weddïasom ni ger bron yr Ar- [f] Dan. 9. 13, &c.
glwydd, ar droi o bob un oddi wrth fe-
ddyliau eu calon ddrygionus.
9 Am hynny y gwyliodd yr Arglwydd
arnom ni am ddrygfyd, ac a'i dug arnom:
o blegid cyfiawn yw'r Arglwydd yn ei
holl weithredoedd, y rhai a orchymynodd
efe i ni.
10 Ond ni wrandawsom ni ar ei lais ef, i
rodio yn ei orchymynion ef, y rhai a roddes
efe o'n blaen ni.
11 [g] Ac yn awr, O Arglwydd Dduw Is- [g] Dan. 9. 15.
rael, yr hwn a ddygaist dy bobl allan o dir
yr Aipht trwy law gadarn, trwy arwyddion
a rhyfeddodau, a thrwy allu mawr a braich
estynnedig, ac [h] a wnaethost it' enw, fel *y* [h] Neh. 9. 10.
*gwelir* heddyw;
12 O ein Harglwydd Dduw, nyni a be-
chasom, a fuom annuwiol, ac a wnaethom yn
anghyfiawn yn dy holl ordeiniadau di.
13 Troer, *attolwg*, dy lid oddi wrthym ni:
o herwydd [i] ychydig a adawed o honom ni [i] Jer. 42. 2.
ym mysg y cenhedloedd, lle y gwasgeraist
ni.
14 Gwrando, Arglwydd, ein gweddi a'n
deisyf, a rhyddhâ ni er dy fwyn dy hun, a
gwna i ni gael ffafr yngolwg y rhai a'n
caeth-gludasant ni:
15 Fel y gwypo'r holl ddaear mai ti yw
yr Arglwydd ein Duw ni, o herwydd ‡ mai ‡ *galw Israel a'i heppil wrth dy enw di.*
dy enw di a elwir ar [k] Israel a'i genedl.
16 [l] Edrych i lawr, Arglwydd, o'th dŷ
sanctaidd, meddwl am danom ni: gostwng [k] Dan. 9. 19.
dy glust, O Arglwydd, a gwrando.
17 Agor dy lygaid, a gwel. O herwydd [l] Deut. 26. 15.
[m] nid y meirw yn y bedd, y rhai y dygwyd Esay 63. 15.
eu § heneidiau allan o'u cyrph, a roddant [m] Psal. 6. 5. a 115. 17.
na gogoniant na chyfiawnder i'r Argl-
wydd: Esay 38. 18, 19.
18 Eithr yr enaid, yr hwn sydd athrist
iawn, yr hwn sydd yn cerdded yn grwm ac Eccl. 17. 27, 28.
yn llesg, a'r llygaid palledig, a'r enaid newy-
nog, a roddant ogoniant a chyfiawnder i ti, § *hysbryd, neu, heinioes.*
O Arglwydd.
19 [n] O blegid hynny nid am gyfiawnder [n] Dan. 9. 18.
ein tadau a'n brenhinoedd yr ydym ni yn
tywallt ein gweddi ger dy fron di, ein Har-
glwydd Dduw.
20 Canys tydi a anfonaist dy lid a'th
ddigofaint arnom ni, fel y dywedaist trwy
law dy weision y prophwydi, gan ddywe-
dyd,
21 [o] Fel hyn y dywed yr Arglwydd, [o] Jer. 27. 11.
Gostyngwch eich ysgwyddau *a'ch gwarrau*,
a gwasanaethwch frenhin Babilon, a chwi a
gewch aros yn y wlad yr hon a roddais i i'ch
tadau chwi.
22 Ac oni wrandêwch ar lais yr Arglwydd
i wasanaethu brenhin Babilon,
23 [p] Mi a ddygaf ymaith o ddinasoedd [p] Jer. 7. 34.
Judah, ac allan o Jerusalem, lais gorfoledd a & 16. 9. & 25. 10.
llais llawenydd, llais priod-fab a llais priod-
ferch; a'r holl wlad a fydd anghyfannedd
heb drigolion.
24 Ond ni wrandawsom ni ar dy lais
di, i wasanaethu brenhin Babilon: am
hynny y cyflawnaist ti [q] dy eiriau, y [q] Jer. 8. 1, 2.
rhai a leferaist trwy ‖ weinidogaeth dy ‖ *law.*
weision y Prophwydi, *sef* y dygid esgyrn
ein brenhinoedd ac esgyrn ein tadau
o'u lle.
25 Ac wele, hwy a daflwyd allan i wres
y dydd, ac i rew y nos, ac a fuant feirw

mewn gofid mawr trwy newyn, a chleddyf,
a haint y nodau.
26 Gosodaist hefyd y tŷ lle y gelwid ar
dy Enw, fel y gwelir ef heddyw, am ddry-
gioni tŷ Israel a thŷ Judah.
27 A thi a wnaethost â ni, O Arglwydd
ein Duw, yn ol dy holl larieidd-dra, ac yn
ol dy fawr drugaredd oll,
28 Fel y lleferaist trwy dy was Moses, y
dydd y gorchymynaist ti iddo ef ysgrifenu
dy gyfraith di, o flaen meibion Israel, gan
ddywedyd,
r Lefit. 26. 14. Deut. 28. 15, 62. 29 r Oni wrandêwch chwi ar fy llais i,
† y dyrfa fawr liosog hon a droir yn ddïau
yn ychydig ym mysg y cenhedloedd lle y
† *yr haid fawr.* gwasgaraf fi hwynt.
30 O blegid mi a wyddwn na wrandawent
hwy arnafi; o blegid pobl wâr-galed ydynt
s Lefit. 26. 39, &c. hwy: eithr s yn y tir lle y caeth-gludir
hwynt y meddyliant am danynt eu hun,
31 Ac y gwybyddant mai myfi yw eu
t Deut. 30. 6. Harglwydd Dduw hwynt: a t mi a roddaf
Jer. 24. 7. iddynt hwy galon a chlustiau i wrando.
32 Yna y'm moliannant i yn y wlad lle y
caeth-gludir hwynt, ac y cofiant fy Enw i,
‡ *cefn anystwyth.* 33 Ac y troant oddi wrth eu ‡ gwâr-galed
a'u drwg weithredoedd: o blegid § mi a
§ *hwy a gofiant.* gofiaf ffordd eu tadau, y rhai a bechasant
yngŵydd yr Arglwydd.
34 Felly y dygaf hwy drachefn i'r tir, yr
hwn trwy lw a addewais i i'w tadau hwynt,
‖ *a arglwyddiaethant arno.* i Abraham, i Isaac, ac i Jacob; a hwy ‖ a'i
meddiannant: a mi a'u hamlhâf hwynt, ac
ni's lleihëir hwynt.
u Jer. 31. 31, &c. 35 Ac u mi a wnaf â hwynt gyfammod
tragywyddol, y byddaf fi yn Dduw iddynt
hwy, a hwythau a fyddant yn bobl i mi: ac
ni symmudaf mwyach fy mhobl Israel o'r tir
a roddais iddynt hwy.

## PEN. III.

Tach. 20. P. 1 *Y rhan arall o weddi a chyffes yr Iuddewon,
y rhai oedd yn y llyfr a 'sgrifenasai Baruch,
ac a anfonasai i Jerusalem.* 36 *Doethineb
a ddangoswyd gyntaf i Jacob, ac a welwyd
ar y ddaear.*

O Arglwydd holl-alluog, Duw Israel, y
mae 'r enaid *sydd* mewn ing, a'r ys-
pryd cystuddiol yn llefain arnat ti.
2 Clyw, Arglwydd, a thrugarhâ; o
blegid Duw trugarog ydwyt ti: cymmer
drugaredd, o blegid nyni a bechasom i 'th
erbyn.
3 O herwydd yr ydwyt ti yn aros byth,
a derfydd am danom ninnau yn llwyr.
4 O Arglwydd holl alluog, Duw Israel,
gwrando ar weddïau 'r Israeliaid meirw, a'u
meibion hwynt, y rhai a bechasant i'th er-
byn di, ac ni wrandawsant ar lais yr Argl-
wydd eu Duw: am ba achos y glynodd y
drygau hyn wrthym ni.
5 Na chofia anwireddau ein tadau ni:
eithr cofia dy allu a'th enw dy hun y pryd
hyn.
6 O herwydd tydi *yw* ein Harglwydd
Dduw ni; a thydi, O Arglwydd, a folian-
nwn ni.
7 O blegid er mwyn hyn y rhoddaist ti
dy ofn yn ein calonnau ni, *sef* er mwyn
galw *o honom ni* ar dy enw di, a'th foliannu
a Deut. 30. yn ein caethiwed: o blegid a ni a gofiasom
holl anwiredd ein tadau, y rhai a bechasant
ger dy fron di.
8 Wele ni etto yn ein caethiwed, lle y
gwasgeraist ti nyni yn waradwydd, ac yn
felldith, ac i fod dan dreth, yn ol holl an-
wireddau ein tadau, y rhai a giliasant oddi
wrth yr Arglwydd ein Duw ni.
9 Clyw, O Israel, orchymynion y bywyd;
gwrando, i gael gwybod doethineb.
10 Paham, Israel, yr ydwyt ti yn nhir dy
elynion; yr heneiddiaist mewn gwlad ddï-
eithr? *ac* y'th halogwyd gan y meirw?
11 *Paham* y'th b gyfrifwyd gyd â'r rhai *a* b Psal. 28.
*aethant* i'r bedd? 1.
12 Tydi a adewaist ffynnon doethineb.
13 Pe rhodiesit ti yn ffordd Duw, ti a
drigesit mewn heddwch byth.
14 Dysg pa le y mae doethineb, pa le y
mae grymmusdra, pa le y mae deall; i gael
gwybod hefyd pa le y mae hir-hoedl, ac ei-
nioes, pa le y mae goleuni llygaid, a thang-
nefedd.
15 c Pwy a gafodd ei lle hi? a phwy a c Job 28.
aeth i mewn i'w thrysorau hi? 12, 20.
16 Pa le y mae tywysogion y cenhedl-
oedd, a llywodraethwŷr yr anifeiliaid sydd
ar y ddaear?
17 Y rhai oedd yn chwarae ag adar y nef-
oedd, ac yn tyrru arian ac aur, yn yr hwn
yr ymddiried dynion, ac ni wnaent ddiben
ar geisio?
18 Canys y rhai a † fathent arian, a *hynny* † *weithiant*
mor ofalus, a'u gwaith yn anchwiliadwy, *mewn.*
19 Hwy a ddiflannasant, ac a ddisgynna-
sant i'r bedd; a rhai eraill a gododd yn eu
lle hwynt.
20 Yn ieuaingc y gwelsant hwy oleuni, ac
a drigasant ar y ddaear: ond nid adnabuant
hwy ffordd gwybodaeth.
21 Ei llwybrau hi ni ddeallasant 'chwaith,
ac nid ymafaelasant ynddi: pell oedd eu
plant oddi ar y ffordd honno.
22 Ni chlywyd son am dani hi yn Ca-
naan, ac d ni welwyd hi yn Theman. d Jer. 49.
23 Yr Agareniaid, y rhai sydd yn ceisio 7.
deall ar y ddaear; a marchnadwŷr Merran
a Theman ‡ dychymmygwŷr chwedlau, ac ‡ *deonglydd.*
yn ceisio deall; ond nid adwaenai un o'r
rhai hyn ffordd doethineb, ac ni chofiasant
ei llwybrau hi.
24 O Israel, mor fawr yw tŷ Dduw! ac
mor helaeth yw lle ei feddiant ef!
25 Mawr *yw efe*, ac nid oes diwedd iddo:
uchel yw efe, ac anfeidrol.
26 Yna yr oedd y cawri enwog gynt, y
rhai oedd yn gorphol, ac yn medru rhyfela.
27 Nid y rhai hynny a ddewisodd Duw,
ac ni roddes iddynt ffordd gwybodaeth.
28 Eithr difethwyd hwy, am nad oedd
ganddynt ddoethineb; a thrwy eu hynfyd-
rwydd y methasant hwy.
29 e Pwy a ddringodd i'r nefoedd, ac a'i e Deut. 30.
cymmerodd, ac a'i dug hi i wared o'r cym- 12, 13.
mylau? Rhuf. 10. 6, 7.
30 Pwy a aeth dros y môr, ac a'i cafodd
hi, ac a'i dug hi am aur o'r goreu?
31 Nid oes neb yn adnabod ei ffordd hi,
nac yn ystyried ei llwybr hi.
32 Ond yr hwn a ŵyr bob peth a'i hed-
wyn hi, a thrwy ei ddoethineb a'i cafodd hi:
yr hwn a ddarparodd y ddaear dros amser
tragywyddol, a'i llanwodd hi ag anifeiliaid
pedwar-carnol.
33 Yr hwn sydd yn anfon goleuni allan,
ac fe a â; yn ei alw ef yn ei ol, ac yntau
yn ufuddhâu mewn ofn.
34 Y ser a oleuasant yn eu gwyliadwr-
iaethau yn llawen. f Efe a'u galwodd f Psal. 147.
hwynt, a hwy a ddywedasant, Dyma ni; 4.
goleuasant yn llawen i'r hwn a'u gwnaeth
hwynt.

35 Dyma ein Duw ni; na chyffelyber
*neb* arall iddo ef.
36 Efe a gafodd allan bob ffordd gwybo-
daeth, ac a'i rhoddes hi i Jacob ei was, ac i
Israel ei anwylyd.
c Dihar. 8. 31. 37 c Wedi hyn yr ymddangosodd efe
Ioan 1. 14. ar y ddaear, ac y trigodd efe ym mysg
dynion.

PEN. IV.

Tach. 21. B. 1 *Llyfr y Gorchymynion sy'r doethineb a
ganmolwyd yn y bennod o'r blaen. 25 An-
nog yr Iuddewon i amynedd, ac i obeithio
yr ymwared.*

DYMA lyfr gorchymynion Duw, a'r gy-
fraith a bery byth: y rhai oll a'i cad-
want hi *a ddeuant* i fywyd, a'r rhai a'i ga-
dawant hi a fyddant feirw.
2 Dychwel Jacob, ac ymafael ynddi hi:
rhodia mewn goleuni wrth ei llewyrch hi.
3 Na ddod dy ogoniant i arall, na'r pe-
thau buddiol i genedl ddieithr.
4 Gwyn ein byd ni, Israel, am fod yn
hysbys i ni y pethau a ryglyddant fodd i
Dduw.
5 O fy mhobl, coffadwriaeth Israel, cym-
mer gyssur.
a Esay 50. 1. a 52. 3. 6 a Chwi a werthwyd i'r cenhedloedd, nid
i'ch difetha, ond o herwydd i chwi annog
Duw i ddig y rhoddwyd chwi i'r gelynion.
7 O herwydd chwi a ddigiasoch yr hwn
b 1 Cor. 10. 20. a'ch gwnaeth chwi, b gan offrymmu i gy-
threuliaid, ac nid i Dduw.
8 Anghofiasoch Dduw tragywyddol, yr
hwn a'ch cenhedlodd chwi: a'ch mam-
maeth Jerusalem a wnaethoch chwi yn
drist.
9 O blegid hi a welodd y dig oedd yn
dyfod arnoch chwi, ac a ddywedodd,
Gwrandêwch, cymmydogion Sion: dygodd
Duw arnaf dristwch mawr.
10 O herwydd mi a welais gaethiwed fy
meibion a'm merched, yr hon a ddug y tra-
gywyddol *Dduw* arnynt hwy.
11 Canys yn llawen y megais i hwynt:
eithr trwy wylofain a thristwch y danfonais
hwynt ymaith.
12 Na lawenyched neb o'm plegid i, yr
hon ydwyf weddw, ac a wrthododd llawer:
anghyfannedd ydwyf fi, o achos pechodau
fy mhlant; am gilio o honynt hwy oddi
wrth gyfraith Duw.
13 Nid adnabuant hwy ei gyfiawnder ef,
ac ni rodiasant yn ffyrdd gorchymynion
† ei addysg ef mewn cyfiawnder. Duw, ac ni sathrasant lwybrau † dysg yn ei
gyfiawnder ef.
14 Deued cymmydogion Sïon, cofiwch
gaethiwed fy meibion i a'm merched, yr
hon a ddug y tragywyddol *Dduw* arnynt
hwy.
c Deut. 28. 49, 50. 15 O herwydd c efe a ddug yn eu her-
byn hwynt genedl o bell, cenedl ddigy-
wilydd, ac estronieithus: y rhai ni phar-
chent yr hen, ac ni thosturient wrth y dyn
bach;
16 Ac a ddygasant ymaith anwyl-blant y
weddw, ac a wnaethant yr unig yn amddi-
fad heb ferched.
17 A pha help a allaf fi i chwi?
18 O blegid yr hwn a ddug adfyd ar-
noch chwi a'ch gwared chwi o law eich gely-
nion.
19 Ymaith â chwi, ymaith â chwi, *fy*
mhlant, o blegid fe'm gadawyd i yn ang-
hyfannedd.
‡ llwyddiant. 20 Mi a ddïosgais wisg ‡ tangnefedd,
ac a wisgais sachlian fy ngweddi: d § tra d Psal. 116. 2. a 137. 7.
fyddwyf fi byw y llefaf ar *Dduw* tragywyd- § yn fy nyddiau, neu, yn nyddiau fy nghystudd.
dol.
21 Cymmerwch gyssur, blant: llefwch ar
yr Arglwydd; ac efe a'ch gwared chwi oddi
wrth gadernid a dwylaw eich gelynion.
22 O herwydd y mae gennyf fi obaith yn
y Tragywyddol i'ch iachawdwriaeth chwi,
ac fe ddaeth i mi lawenydd oddi wrth yr
hwn sydd Sanctaidd, o herwydd y druga-
redd yr hon a ddaw i chwi yn fuan gan ein
tragywyddol iachawdwr ni.
23 O blegid trwy dristwch ac wylofain y
danfonais chwi allan: eithr Duw a'ch rhydd
chwi i mi drachefn trwy lawenydd a hyfryd-
wch byth.
24 Megis yn awr y gwelodd cymmydog-
ion Sion eich caethiwed chwi; felly ar
fyrder y gwelant hwy eich iachawdwriaeth
chwi oddi wrth eich Duw, yr hon a ddaw
i chwi trwy ogoniant mawr a disgleirdeb y
Tragywyddol.
25 O *fy* mhlant, cymmerwch yn ddio-
ddefgar y digter a ddaeth arnoch chwi oddi
wrth Dduw: o herwydd y gelyn a'th erli-
diodd di; eithr ar fyrder ti a gei weled ei
ddinystr ef, ac a sethri ar ei wddf ef.
26 Fy ‖ anwylyd a aethant 'rhyd ffyrdd ‖ *rhai*
geirwon, hwy a ddygpwyd ymaith fel praidd *moethus.*
yr hwn a 'sglyfaethai gelynion.
27 Cymmerwch gyssur, fy mhlant, a gel-
wch ar Dduw: o blegid y mae yr hwn a
ddug y pethau hyn arnoch chwi yn meddwl
am danoch chwi.
28 Megis y bu eich meddwl chwi ar gy-
feiliorni oddi wrth Dduw, felly gan i chwi
droi, byddwch yn ddeg mwy ar ei geisio
ef.
29 O blegid yr hwn a ddug y drygau
hyn arnoch chwi, a ddwg i chwi gyd
â'ch iachawdwriaeth, lawenydd tragywy-
ddol.
30 Cymmer gyssur, Jerusalem; y mae yr
hwn a'th enwodd di yn dy gysuro.
31 Gwae y rhai a wnaethant niweid i ti,
ac a fu lawen ganddynt dy gwymp di.
32 Gwae y dinasoedd y gwnaeth dy blant
di wasanaeth iddynt: gwae yr hon a gym-
merodd dy feibion di.
33 O blegid megis y mae yn llawen
ganddi dy gwymp di, ac yn hyfryd gan-
ddi dy dramgwydd di; felly y bydd hi
athrist o blegid ei hanghyfannedd-dra ei
hun.
34 Canys mi a dorraf ymaith lawenydd
ei lliaws mawr hi, a'i ffrost hi a fydd yn
dristwch.
35 O herwydd tân a ddaw arni hi dros hir-
ddyddiau, oddi wrth *Dduw* tragywyddol; a
chythreuliaid a breswyliant ynddi amser
mawr.
36 e Edrych, O Jerusalem, tu a'r dwyrain, e Pen. 5. 5.
a gwel yr hyfrydwch sydd yn dyfod i ti gan
Dduw.
37 Wele, y mae dy feibion y rhai a
anfonaist ymaith yn dyfod; y maent
hwy yn dyfod wedi eu casglu o'r dwyrain
hyd y gorllewin, trwy air yr hwn sydd
Sanctaidd, gan lawenychu yngogoniant
Duw.

PEN. V.

1 *Annog Jerusalem i lawenychu.* 5 *ac i edrych* Tach. 21. P.
*ar eu gwared o gaethiwed trwy ogoniant.*

O Jerusalem, diosg wisg dy alar a'th drist-
wch, a gwisg harddwch y gogoniant
sydd oddi wrth Dduw yn dragywydd.

2 Gwisg am danat wisg ddau-ddyblyg y cyfiawnder sydd o Dduw, a gosod ar dy ben goron gogoniant y Tragywyddol.

3 O blegid Duw a ddengys dy ddisgleirdeb di i bob *cenedl* dan y nefoedd.

4 Canys Duw a eilw dy enw di byth, Heddwch cyfiawnder, a Gogoniant duwioldeb.

5 Cyfod, Jerusalem, a saf yn uchel, ac
[a] Pen. 4. 36. [a] edrych tu a'r dwyrain, a gwel dy blant wedi eu casglu o fachludiad haul hyd ei godiad, trwy air yr hwn sydd Sanctaidd, *ac* yn llawen yngboffadwriaeth Duw.

6 Ar eu traed yr aethant hwy oddi wrthyt ti, a'u gelynion a'u dygasant hwynt ymaith; eithr Duw a'u dwg hwynt attat ti, wedi eu dyrchafu mewn gogoniant, fel meibion y frenhiniaeth.

7 O blegid Duw a ordeiniodd ostwng
[b] Esay 40. 4. [b] pob mynydd uchel, a'r bryniau tragywyddol, a llenwi'r pantoedd i wastatâu y ddaear, fel y gallo Israel rodio'n ddïogel yngogoniant Duw.

8 Y coedydd a phob pren arogl-ber, a fuant gysgod i Israel wrth orchymyn Duw.

9 O herwydd Duw a arwain Israel yn llawen yngoleuni ei ogoniant ef, ynghŷd â'r drugaredd, a'r cyfiawnder, yr hwn sydd oddi wrtho ef.

## EPISTOL JEREMI.

### PEN. VI.

Tach. 22. B. 1 *Pechodau'r bobl yw achos y caethiwed.* 3 *Ofered delwau a delw-addoliaeth Babilon.*

¶ Copi o'r llythyr a anfonodd Jeremi at y rhai a gaeth-gludai brenhin y Babiloniaid i Babilon, i fynegi iddynt hwy yr hyn a orchymynasai Duw iddo ef.

O Blegid y pechodau a wnaethoch chwi ger bron Duw, y dwg Nabuchodonosor brenhin Babilon, chwi'n garcharorion i Babilon.

3 Felly pan ddeloch chwi i Babilon, chwi a fyddwch yno flynyddoedd lawer, ac amser hir, hyd saith o genhedlaethau: wedi hynny mi a'ch dygaf chwi allan oddi yno mewn heddwch.

[a] Psal. 115. 4. Esay 44. 8, 9, 10. a 46. 5, 7. Doeth. 13. 10. 4 [a] Yna y gwelwch yn Babilon, dduwiau arian, ac aur, a phrennau, y rhai a ddygir ar ysgwyddau, ac a yrrant ofn ar y cenhedloedd.

5 Gwyliwch chwithau rhag bod yn debyg i'r dïeithriaid, ac ofni o honoch chwithau hwynt, pan weloch chwi'r cenhedloedd yn eu haddoli hwynt o'u blaen ac o'u hol.

6 Dywedwch chwithau yn eich meddwl, Tydi, O Arglwydd, sydd raid i ni ei addoli.

7 Canys fy angel i a fydd gyd â chwi, a minnau a ymorofaf am eich eneidiau chwi.

8 Y saer a drwsiodd eu tafod hwynt, hwythau wedi eu goreuro, a'u gorchuddio ag
[b] Psal. 135. 16. arian; [b] er hynny pethau gau ydynt, ac ni allant lefaru.

9 Hwy a gymmerant aur, ac a'i gweithiant megis i langces yn hoffi gwychder, yn goronau ar bennau eu duwiau.

10 Ac weithiau y dwg yr offeiriaid aur ac arian oddi ar eu duwiau, ac a'u treuliant arnynt eu hunain.

11 Rhoddant hefyd o honynt hwy i'r putteiniaid cyhoedd, ac a'u trwsiant hwynt mewn gwisgoedd megis dynion, *sef* y duwiau o arian, ac aur, a phrennau.

12 Etto ni allant ymachub oddi wrth rwd a phryfed, er eu gwisgo â phorphor.

13 Hwy a sychant eu hwynebau hwy, o blegid y llwch yn y † tŷ ‡ yr hwn sydd yn † deml.
fawr arnynt. ‡ pan fyddo llawer

14 *Gan un o honynt hwy* y bydd teyrnwïalen, fel gwr yn barnu gwlad: ond ni arnynt.
ddichon efe ladd yr hwn a becho yn ei erbyn.

15 *Gan arall* y bydd cleddyf, neu fwyall, yn ei law ddehau; er hynny ni ddichon efe ei wared ei hun rhag rhyfel neu ladron.

16 Wrth hyn amlwg yw nad ydynt hwy dduwiau. Am hynny nac ofnwch hwynt.

17 O herwydd megis y mae llestr dŷn, wedi ei dorri, heb dalu dim; felly y mae eu duwiau hwynt: Wedi eu gosod hwynt mewn § tai, traed y rhai a ddel i mewn a lenwa eu § temlau.
llygaid hwynt o lwch.

18 Ac megis y cauir y ‖ cynteddoedd ar ‖ drysau.
yr hwn a wnelo yn erbyn y brenhin, megis ar un wedi ei dwyn i farwolaeth; felly y mae'r offeiriaid yn cadw eu temlau hwynt â dorau, â throsolion, ac â chloiau, rhag i ladron eu hyspeilio hwynt.

19 Hwy a osodant ganhwyllau o'u blaen hwynt, fwy nag o'u blaen eu hunain, ac ni allant hwy weled un o honynt.

20 Y maent hwy fel un o drawstiau'r deml; ac etto yr ydys yn dywedyd fod y seirph, y rhai sy'n dyfod o'r ddaear, yn
† cnoi eu calonnau hwynt: ac wrth eu † llyfu.
bwytta hwynt a'u gwisgoedd, ni's gwyddant oddi wrtho.

21 Y mae eu hwynebau hwynt wedi duo gan y mwg o'r deml.

22 Yr ystlymmod, a'r gwenfoliaid, a'r adar *eraill*, a ehedant ar eu cyrph a'u pennau hwynt, felly y cathod hefyd.

23 Wrth hyn y bydd hysbys i chwi nad duwiau ydynt. Nac ofnwch chwithau hwynt.

24 O blegid yr aur sydd am danynt hwy, yn harddwch iddynt, oni sych rhyw un y rhwd, ni ddisgleiria: a phan doddwyd hwynt, ni wybuant oddi wrth hynny.

25 Am ‡ bob gwerth y prynir hwy, y ‡ y gwerth mwyaf.
rhai nid oes anadl ynddynt.

26 [c] Hwy o eisiau traed a ddygir ar ys- [c] Esay 46. 7.
gwyddau: *felly* y maent hwy yn dangos i
ddynion § eu gwaelder. § na thalant hwy ddim.

27 Mae yn gywilydd gan y rhai a'u gwasanaethant hwy. O blegid os syrth *un o honynt* hwy un amser i lawr, ni chyfyd efe o hono ei hun; ac os gesyd un ef yn ei uniawn-sefyll, ni syfl efe o hono ei hun; ac os gogwydda, ni all efe ymuniawnu. Eithr y maent yn rhoi ‖ rhoddion o'u blaen hwy ‖ offrymmau.
megis i rai meirw.

28 Y mae eu hoffeiriaid hwynt yn gwerthu eu haberthau hwynt, ac yn eu cam-arfer: felly y mae eu gwragedd yn rhoddi i gadw mewn halen *beth* o honynt hwy, heb roddi dim i'r tlawd a'r gwan.

29 Y mae'r rhai mis-glwyfus, a'r rhai
† etifyddog, [d] yn ‡ cyffwrdd â'u haberthau † ar eu gwelyau.
hwynt. Gwybyddwch wrth hynny nad duwiau ydynt: ac nac ofnwch hwynt. [d] Lef. 12. 4.

30 Pa fodd gan hynny y gelwir hwynt yn dduwiau? ai am fod y gwragedd yn gosod ‡ bwytta.
*offrymmau* o flaen y duwiau arian, ac aur, a phrennau?

31 Y mae yr offeiriaid yn eistedd yn eu temlau hwynt, a'u gwisgoedd wedi eu rhwygo, a'u pennau, ac a'u barfau wedi eu heillio, ac yn ben-noethion.

32 Y maent hwy yn rhuo, ac yn gweiddi o flaen eu duwiau, fel rhai yngwledd y marw.
33 Y mae'r offeiriaid yn cymmeryd o'u gwisgoedd hwynt, ac yn dilladu eu gwragedd a'u plant.
34 Os da os drwg a gânt hwy, ni allant hwy dalu'r pwyth: ni allant na gwneuthur brenhin, na'i ddiswyddo.
35 Yr un modd ni allant roddi na chyfoeth nac arian. Os adduneda un adduned heb ei thalu, ni's gofynnant hwy.
36 Ni allant waredu dŷn oddi wrth angau, nac achub y gwan rhag y cadarn.
37 Ni allant roddi ei olwg i'r dall drachefn, ac ni allant waredu y dŷn a fyddo mewn angen.
38 Ni ddangosant hwy drugaredd i'r weddw, ac ni wnânt ddaioni i'r amddifad.
39 Fel y cerrig o'r mynydd ydyw eu *duwiau* pren hwynt, wedi eu goreuro a'u bariannu. Y rhai a'u haddolant hwynt a waradwyddir.
40 Pa fodd gan hynny y meddylir, neu y dywedir eu bod hwynt yn dduwiau, a'r Caldeaid eu hunain yn eu dibrisio hwynt?
41 Y rhai pan welont un heb fedru dywedyd, † a'i dygant ef at Bèl, ac a ddeisyfant beri iddo ef lefaru, fel pe gallai efe lefaru ei hun.
42 Ac er deall hyn ni fedrant beidio â hwynt: am nad oes ganddynt ‡ synwyr.
43 Y gwragedd, wedi eu gwregysu â rheffynnau, a eisteddant yn yr heolydd yn llosgi eisin, yn lle arogl-darth; os tynnir un o honynt hwy gan ryw un yn myned heibio, a gorwedd o honi gyd ag ef, hi a edliwia i'w chymmydoges na thybiwyd yn gystal o honno ac o honi hi, ac na thynnwyd ei rheffyn hithau.
44 Gau yw yr hyn oll a wnaed yn eu mysg hwy: pa fodd gan hynny y meddylir neu y dywedir mai duwiau ydynt hwy?
45 Seiri a gofaint aur a'u gwnaethant hwy: ni allant fod yn ddim, ond a fynno y crefftwr iddynt hwy fod.
46 Ni bydd hir-hoedlog y rhai a'u gwnaethant hwy: pa fodd ynte y bydd y pethau a wnelo y rhai hynny yn dduwiau?
47 Gadawsant gelwyddau a gwaradwydd i'r rhai a ddeuant ar eu hol hwy.
48 Canys pan ddelo rhyfel neu ddrygau arnynt, yna y meddwl yr offeiriaid rhyngthynt â hwy eu hunain, pa le yr ymguddiant gyd â hwy.
49 Pa fodd gan hynny na ddeallir, nad ydynt hwy dduwiau, y rhai nid ymachubant eu hunain rhag rhyfel a drygau?
50 [e] Gan mai prennau ydynt, ac aur ac arian wedi eu gosod arnynt, hysbys fydd o hyn allan mai ffug ydynt;
51 Ac amlwg fydd i'r holl genhedloedd a'r brenhinoedd nad duwiau ydynt hwy, eithr gwaith dwylaw dynion, heb ddim o waith Duw ynddynt.
52 Pwy gan hynny ni's gŵyr nad ydynt hwy dduwiau?
53 Ni osodant hwy frenhin ar wlad, a gwlaw ni roddant i ddynion.
54 Nid ydynt hwy yn medru barnu matterion: ni allant hwy achub rhag cam, mor wàn ydynt hwy: canys y maent fel brain rhwng nef a daear.
55 Pan ddamweinio tân yn nheml y duwiau o goed, neu o aur, neu o arian wedi ei osod arnynt, yna eu hoffeiriaid hwynt a ffoant, ac a ddiangant; hwythau a losgant fel y trawstiau yn eu hanner.
56 Ni wrthwynebant hwy frenhin neu elynion: pa fodd gan hynny y gellir tybied neu ddywedyd mai duwiau ydynt hwy?
57 Y duwiau o brennau, ac wedi gosod arian ac aur arnynt, ni allant ddiange gan na lladron na gwilliaid.
58 Rhai cryfion a ddygant yr aur, a'r arian, a'r gwisgoedd, y rhai a fyddant am danynt hwy, ac wedi eu cael a ânt ymaith; ac ni allant hwy help iddynt eu hunain.
59 Felly gwell yw bod yn frenhin yn dangos ei gadernid, neu yn llestr buddiol mewn tŷ i'r peth yr arfero ei berchennog ef, nag yn un o'r gau-dduwiau; neu yn ddôr ar dŷ, yn cadw y pethau a fyddant ynddo, nag yn un o'r cyfryw gau-dduwiau; neu yn golofn bren mewn brenhindy, nâ bod yn un o'r gau-dduwiau.
60 Canys yr haul, a'r ser, a hwythau yn ddisglair, a'u hanfon i wneuthur § lles, ydynt yn ufudd:
61 Felly y mae'r fellten yn hawdd ei gweled, pan ymddangoso hi; ac yn yr un modd ‖ y gwynt a chwyth ym mhob gwlad;
62 A phan orchymyno Duw i'r cymmylau fyned dros yr holl fyd, hwy a gyflawnant y gorchymyn;
63 Pan anfoner y tân oddi-uchod, i anrheithio mynyddoedd a choedydd, efe a wna'r gorchymyn: ond y rhai hyn nid ydynt debyg i'r rhai hynny, nac mewn prŷd, nac mewn gallu.
64 Am hynny ni ellir na meddwl na dywedyd eu bod hwy yn dduwiau, gan na's gallant hwy na rhoddi barn, na gwneuthur lles i ddynion.
65 Gan eich bod yn awr yn gwybod nad ydynt hwy dduwiau, nac ofnwch hwynt:
66 O blegid ni allant hwy na dywedyd, na melldithio, na bendithio brenhinoedd;
67 Ac ni allant ddangos arwyddion yn y nefoedd ym mysg y cenhedloedd, na thywynnu fel yr haul, na llewyrchu fel y lleuad.
68 Y mae'r anifeiliaid, y rhai a ffoant i ddiddos i gael achles iddynt eu hunain, yn well nâ'r rhai hyn.
69 Felly nid yw amlwg i ni trwy fodd yn y byd, eu bod hwy yn dduwiau. Am hynny nac ofnwch hwynt.
70 Megis mewn gardd lysiau nid yw yr † hudwg yn cadw dim; felly y mae eu duwiau hwynt, o brennau, ac o aur, ac o arian wedi ei osod arnynt.
71 Eu duwiau hwynt o brennau, ac o aur, ac o arian wedi ei osod arnynt, ydynt fel ysbyddaden mewn perllan, ar yr hon y disgyn pob aderyn, ac yn debyg i un marw wedi ei fwrw mewn tywyllwch.
72 Wrth y porphor a'i gwychder sydd yn pydru am danynt hwy, y gellwch chwi wybod nad ydynt hwy dduwiau: hwythau o'r diwedd a ysir, ac a fyddant yn waradwydd yn y wlad.
73 Am hynny gwell yw'r gwr cyfiawn nid oes ganddo ddelwau: o blegid pell fydd efe oddi wrth waradwydd.

† a barant iddo alw ar Bèl.
‡ wybodaeth.
e Psal. 115. 4. Doeth. 13. 10.
§ eu m-y ddau.
‖ yr un gwynt.
† bwbach.

## ¶ CAN Y TRI LLANGC SANCTAIDD, YR HON SYDD YN CANLYN Y DRYDEDD ADNOD AR HUGAIN O'R DRYDEDD BENNOD I DDANIEL, YR HON GAN NID YW YN YR HEBREAEG.

*1 Gweddi a chyffes Azarïas yn y fflam dân: 24 yr hon a losgodd y Caldeaid oedd o amgylch y ffwrn: ac ni wnaeth niweid i'r tri llangc oedd yn y ffwrn. 28 Cân y tri llangc oedd yn y ffwrn.*

AHwy a rodiasant ynghanol y fflàm, gan foliannu Duw, a bendithio'r Arglwydd. Ac Azarïas yn sefyll a weddïodd fel hyn; ac a agorodd ei enau ynghanol y tân, gan ddywedyd,

2 Benedigedig wyt ti, O Arglwydd Dduw ein tadau; ie canmoladwy a gogoneddus yw dy Enw yn dragywydd.

3 Canys cyfiawn wyt ti ym mhob peth a'r a wnaethost i ni; a'th holl weithredoedd sy gywir; dy ffyrdd hefyd sydd uniawn, a'th [a] holl farnau yn wir.

[a] Psal. 25. 10.

4 A barnu gwirionedd a wnaethost yn yr holl bethau a ddygaist arnom, ac ar ddinas sanctaidd ein tadau, *sef* Jerusalem: o achos mewn gwirionedd a barn y dygaist hyn oll arnom o herwydd ein pechodau.

5 Canys pechasom, a gwnaethom yn anghyfreithlon, trwy ymwrthod â thydi.

6 Ac ym mhob peth ni a wnaethom ar fai, a'th orchymynion di ni wrandawsom arnynt, ac ni's cadwasom, ac ni wnaethom y modd yr archesit i ni fel y byddai ddaionus i ni.

7 A'r cwbl a'r a ddygaist arnom, a chwbl a'r a wnaethost i ni, mewn gwir-farn y gwnaethost oll:

8 Ac a'n rhoddaist yn nwylaw gelynion digyfraith, ac atcasaf wrthodwŷr Duw, a brenhin anghyfiawn gwaethaf ar yr holl ddaear.

9 Ac yn awr ni allwn agori ein geneuau, yn gywilydd a gwaradwydd y'n gwnaethpwyd i'th weision di, a'r rhai a'th addolant.

10 Na fwrw ni ymaith yn gwbl, er mwyn dy Enw, ac na ddiddymma dy gyfammod:

11 Ac na thŷn dy drugaredd oddi wrthym, er mwyn Abraham dy anwylyd, ac er mwyn Isaac dy was, ac Israel dy sanctaidd;

12 Y rhai y lleferaist wrthynt, gan ddywedyd yr amlhâit eu had hwynt fel ser y nef, ac fel, y tywod sydd ger llaw min y môr.

13 Etto, Arglwydd, yr ydym wedi ein lleihâu tu hwnt i bob cenhedlaeth, ac yr ydym heddyw wedi ein darostwng ym mhob gwlad am ein pechodau:

14 Ac nid oes y pryd hyn, na phennaeth, na phrophwyd, na blaenor, na phoethoffrwm, nac aberth, nac offrwm, nac arogl, na lle i aberthu ger dy fron di, modd y gallem gael trugaredd.

15 Etto *a ni* mewn enaid drylliedig ac yspryd gostyngeiddrwydd, derbynier ni.

16 [b] Megis pe bai poeth-ebyrth hyrddod a theirw, ac fel pe bai myrddiwn o ŵyn breision; [c] felly heddyw bydded ein hoffrwm ni yn dy olwg di; a chaniattâ i ni yn gwbl dy ddilyn di. Canys [d] nid oes waradwydd i'r rhai a ymddiriedant ynot ti.

[b] Baruch 2. 18.
[c] Psal. 51. 17.
[d] Psal. 25. 2, 3.

17 Ac yr awron y dilynwn di â'n holl galon, ac yr ofnwn di, ac y ceisiwn dy wynebpryd.

18 Na ddod ni yn waradwydd; eithr gwna â ni yn ol dy addfwynder, ac yn ol amlder dy drugaredd.

19 Ac achub ni yn ol dy ryfeddodau, O Arglwydd; a dod ogoniant i'th Enw. A chywilyddier hwynt oll a'r sy yn gwneuthur drwg i'th weision;

20 A gwaradwydder hwynt † yn eu holl gadernid a'u gallu, a dryllier eu nerth hwynt;

† *trwy dy gadernid di a'th allu.*

21 A gwybyddant mai tydi sydd Arglwydd, unig Dduw, a gogoneddus dros yr holl fyd.

22 Ac ni pheidiodd gweinidogion y brenhin, y rhai a'u bwriasent hwynt *i mewn*, â phoethi'r ffwrn ‡ â naphtha, a phyg, a charth, ac â briw-wŷdd.

‡ *ag ystor.* Naptha yw math ar glai bras tebyg i frwmstan llaith. *Plin. l.* 2. c. 105.

23 A'r fflàm a daflodd uwch law'r ffwrn naw cufydd a deugain.

24 A hi a ruthrodd ac a losgodd y Caldeaid, y rhai a gyrhaeddodd hi ynghylch y ffwrn.

25 Eithr Angel yr Arglwydd a ddisgynnodd i'r ffwrn gyd ag Azarïas a'i gyfeillion, ac a yrrodd fflàm y tân allan o'r ffwrn;

26 Ac a wnaeth ganol y ffwrn megis gwŷnt § llaith yn sïo; fel na chyffyrddodd y tân â hwynt: ni ofidiodd ac ni flinodd mo honynt.

§ *claiar.*

27 Yna y tri, megis o un genau, a ganmolasant, ac a glodforasant, ac a ogoneddasant Dduw yn y ffwrn, gan ddywedyd,

28 Bendigedig wyt ti, Arglwydd Dduw ein tadau, i'th foliannu, ac i'th dra-dyrchafu yn dragywydd.

29 A bendigedig yw dy Enw gogoneddus a sanctaidd, ac i'w foliannu, ac i'w dradyrchafu yn dragywydd.

30 Bendigedig wyt yn nheml dy sanctaidd ogoniant, a thra-chanmoladwy a thragogoneddus yn dragywydd.

31 Bendigedig wyt ti, yr hwn ydwyt yn gweled yr eigion, ac yn eistedd ar y cerubiaid, a thra-chanmoladwy a thra-dyrchafadwy yn dragywydd.

32 Bendigedig wyt ar orsedd-faingc gogoniant dy deyrnas, a thra-chanmoladwy a thra-gogoneddus yn dragywydd.

33 Bendigedig wyt ti yn ffurfafen y nefoedd, a thra-chanmoladwy, a gogoneddus yn dragywydd.

34 Holl weithredoedd yr Arglwydd, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a ‖ thradyrchefwch ef yn dragywydd.

‖ *dyrchefwch ef uwch law pob peth:* ac felly yn y llaill i gyd.

35 Angylion yr Arglwydd, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

36 [e] Y nefoedd, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

[e] Psal. 148. 4.

37 Yr holl ddyfroedd goruwch y nef, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thradyrchefwch ef yn dragywydd.

38 Holl nerthoedd yr Arglwydd, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thradyrchefwch ef yn dragywydd.

39 Yr haul a'r lloer, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

40 Ser y nef, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

41 Pob cafod a gwlith, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

42 Holl wyntoedd, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

*† gwres.* 43 Tân a † phoethfa, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

*‡ Gauaf a haf.* 44 ‡ Oerni a gwres, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

*§ chafodydd o wlaw* 45 Gwlith a § rhew, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

46 Nos a dydd, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

47 Goleuad a thywyllwch, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

48 Rhew ac oerfel, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

49 Iâ ac eira, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

50 Mellt a chymmylau, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

51 Bendithied y ddaear yr Arglwydd; moled a thra-dyrchafed hi ef yn dragywydd.

52 Mynyddoedd a bryniau, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

53 Yr holl bethau sydd yn tyfu yn y ddaear, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

54 Ffynhonnau, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

55 Moroedd ac afonydd, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

56 Morfilod, a chwbl oll a'r a symmud yn y dyfroedd, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

57 Holl ehediaid y nef, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

58 Holl fwystfilod ac anifeiliaid, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

59 Plant dynion, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

60 Bendithied Israel yr Arglwydd; moled a thra-dyrchafed ef yn dragywydd.

61 Offeiriaid yr Arglwydd, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

62 Gwasanaethwŷr yr Arglwydd, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

63 Ysprydion ac eneidiau 'r cyfiawn, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

64 Y rhai sanctaidd, ac â chalon ostyngedig, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd.

65 Ananïas, Azarïas, a Misaël, bendithiwch yr Arglwydd; molwch a thra-dyrchefwch ef yn dragywydd. Canys efe a'n hachubodd ‖ o uffern, ac a'n cadwodd o *‖ o'r bobl.* law marwolaeth, ac a'n gollyngodd o'r ffwrn, o ganol y fflam danllyd, ac a'n gwaredodd ni o ganol y tân.

66 Cyffeswch yr Arglwydd, am ei fod yn ddaionus; am fod ei drugaredd yn dragywydd.

67 Pawb oll ag sydd yn ofni 'r Arglwydd, bendithiwch Dduw 'r duwiau; molwch ef, a chydnabyddwch fod ei drugaredd ef yn dragywydd.

---

*† Gr. Ddraig Bel.*

## ¶ HISTORI SUSANNA, WEDI EI NEILLDUO ODDI WRTH DDECHREU DANIEL, O HERWYDD NAD YDYW YN YR HEBREAEG, MEGIS NAD YW'R HISTORI AM † BEL A'R DDRAIG.

Tach. 22. P. 1 *Rhïeni a gwr Susanna.* 5 *Y ddau farnwr yn ei chwennychu hi,* 16 *ac yn ymguddio yn ei gardd hi, i geisio cael eu hewyllys arni hi:* 28 *ac am na's caent, yn achwyn arni hi, ac yn peri ei barnu hi yn euog o odineb:* 46 *a Daniel yn teimlo'r matter drachefn, ac yn eu holi hwynt, ac yn eu cael yn euog.*

YR oedd gwr yn preswylio yn Babilon a'i enw Joacim.

2 Ac efe a brïododd wraig a'i henw Susanna, merch Chelcias, yr hon oedd lân iawn, ac yn ofni 'r Arglwydd.

3 Ei rhïeni hefyd oedd gyfiawn, ac a ddysgasent eu merch yn ol cyfraith Moses.

4 A Joacim oedd gyfoethog iawn, ac iddo ef yr oedd gardd deg yn gyfagos i'w dŷ. At yr hwn yr ymgynhullai 'r Iuddewon; am ei fod efe yn anrhydeddusach nâ neb arall.

5 A'r flwyddyn honno y rhoddwyd dau henuriad o'r bobl yn farnwŷr, am y rhai y dywedodd yr Arglwydd, mai o Babilon y daeth yr anwiredd, oddi wrth y barnwŷr hynaf, y rhai a gymmerent arnynt lywodraethu 'r bobl.

*† cyrchu yn fynych i dŷ.* 6 Y rhai hyn oedd yn † aros yn nhŷ Joacim: ac attynt y trammwyai pawb oll a'r a ymgyfreithient.

7 A phan elai 'r bobl ymaith ganol dydd, y byddai Susanna yn myned i rodio i ardd ei gwr.

8 A'r ddau henuriad a'i gwelent hi beunydd yn myned i mewn, ac yn rhodio: ac yr oeddynt mewn chwant iddi hi.

9 A hwy a ŵyr-droisant eu meddwl eu hun, ac a ostyngasant eu llygaid fel na allent edrych tu a'r nefoedd, na chofio cyfiawn farnedigaethau.

10 Ac er eu bod ill dewoedd yn glwyfus o'i chariad hi, etto ni ddangosai 'r naill y gofid oedd arno i'r llall:

11 O herwydd bod yn waradwydd ganddynt ddangos eu bod mewn chwant i'w chorph hi.

12 A beunydd y disgwylient yn ddyfal am ei gweled hi.

13 A'r naill a ddywedodd wrth y llall, Awn yn awr adref; o blegid y mae hi yn bryd ciniaw.

14 Yna 'r aethant allant, ac a ymadawsant y naill oddi wrth y llall: ac *er hynny* troi a wnaethant eilchwel, a dyfod i'r un màn: ac wedi ymofyn â'u gilydd yr achos, cyffesu a wnaethant bob un i'w gilydd eu chwant, ac yn unfryd llunio amser, y gallent ei chael hi ei hunan.

15 Ac fel yr oeddynt yn disgwyl amser cyfaddas, Susanna a aeth i mewn fel *yr*

† ddoe ac echdoe.
arferai † o'r blaen, a dwy forwyn yn unig
gyd â hi, ar fedr ymolchi yn yr ardd; canys
brwd oedd *yr hin.*
16 Nid oedd neb yno ond y ddau henur-
iad, y rhai a ymguddiasent, ac oeddynt yn
ei disgwyl hi.
17 A hi a ddywedodd wrth ei morwyn-
ion, Dygwch i mi olew, a ‡ sebon, a
cheuwch ddrysau 'r ardd, fel y gallwyf fi
ymolchi.

‡ phelau ymolchi.

18 A'r morwynion a wnaethant fel yr
archasai hi: ac wedi iddynt gau drysau 'r
ardd, hwy a aethant allan i ddrws dirgel, i
gyrchu 'r pethau a archasid iddynt: eithr ni
welsant mo 'r henuriaid, o achos eu bod wedi
ymguddio.
19 Ac fe ddarfu, wedi i 'r morwynion fy-
ned allan, i 'r ddau henuriad godi, a rhedeg
atti hi, a dywedyd,
20 Wele ddrysau 'r ardd yn gauad, fel na
all neb ein gweled; yr ydym ni ein deuoedd
mewn chwant i ti: cyttuna â nyni, a gor-
wedd gyd â ni.
21 Os tydi ni wnei hynny, nyni a dysti-
olaethwn yn dy erbyn, fod gwr ieuangc gyd
â thi, ac anfon o honot y morwynion ymaith
oddi wrthyt am hynny.
22 Yna 'r ocheneidiodd Susanna, gan ddy-
wedyd, Yr ydwyf fi mewn cyfyngdra o'r
ddeutu: os y peth hwn a wnaf fi, marwola-
eth yw i mi: os minnau ni's gwnaf, ni allaf
fi ddiangc o'ch dwylaw chwi.
23 Etto mae yn ddewisach gennyf fi syr-
thio yn eich dwylaw chwi heb ei wneuthur,
nâ phechu ger bron yr Arglwydd.
24 A Susanna a ddolefodd â llef uchel.
Felly y llefodd y ddau henuriad yn ei her-
byn hi.
25 A'r naill a redodd, ac a agorodd ddry-
sau 'r ardd.
26 Pan glybu tylwyth y tŷ y llefain yn yr
ardd, myned a wnaethant i mewn i 'r drws
dirgel, i edrych beth a ddarfuasai iddi hi.
27 Eithr wedi i 'r henuriaid ddywedyd eu
chwedl, cywilyddio yn ddirfawr a wnaeth y
gweision: o herwydd ni buasai 'r fath air i
Susanna o'r blaen.
28 A thrannoeth pan ddaeth y bobl i
dŷ Joacim ei gwr hi, y ddau henuriad
hefyd a ddaethant yno, yn llawn drwg
feddwl i Susanna, ar ei rhoi hi i'w marwola-
eth.
29 A hwy a ddywedasant yngŵydd y
bobl, Danfonwch am Susanna ferch Chel-
cias, gwraig Joacim. A hwy a ddanfona-
sant am dani hi.
30 Hithau a ddaeth, a'i rhïeni, a'i phlant,
a'i holl geraint.
31 Susanna oedd dyner, a phrydferth ei
gwedd.
32 A'r rhai anwir hyn a barasant ddinoe-
thi ei *hwyneb* hi, (canys yr oedd â gorchudd
arno,) fel y gallent hwy borthi eu chwant
â'i thegwch hi.
33 Yna 'r wylodd cynnifer un ag oedd yn
ei chylch hi, a'r rhai oll a'i hadwaenent
hi.
34 A'r ddau henuriad a safasant i fynu
ynghanol y bobl, ac a roddasant eu dwylaw
ar ei phen hi.
35 A hithau yn wylo, a edrychodd i fynu
tu a'r nefoedd, am fod ei chalon hi a'i gog-
lud ar yr Arglwydd.
36 A'r henuriaid a ddywedasant, Pan
oeddem ni yn rhodio ein hunain yn yr ardd,
y daeth hi â dwy law-forwyn i mewn, a hi
a gauodd ddrysau yr ardd, ac a anfonodd y
morwynion ymaith.
37 Yna y daeth gwr ieuangc atti, yr hwn
oedd yno yn ymguddio, ac a orweddodd gyd
â hi.
38 A ninnau ynghongl yr ardd pan wel-
som y cyfryw anwiredd, a redasom attynt.
39 A phan welsom fel yr oeddynt yng-
hŷd, ni allasom ei ddàla ef, am ei fod yn
gryfach nâ ni, eithr efe a agorodd y drws,
ac a ddïangodd.
40 Eithr gwedi i ni ddàla hon, ni a'i ho-
lasom hi, pwy oedd y gwr ieuangc hwnnw;
ac ni ddangosai hi i ni. A hyn yr ydym ni
yn ei dystiolaethu.
41 A'r gynnulleidfa a'u credodd hwynt,
megis henuriaid a barnwŷr y bobl. Ac felly
hwy a'i barnasant hi i farwolaeth.
42 Yna Susanna a lefodd â llef uchel, gan
ddywedyd, O Dduw tragywyddol i'r hwn y
mae pob dirgelwch yn hysbys, a'r hwn a
wyddost bob peth cyn ei ddigwydd;
43 Ti a wyddost gam-dystoliaethu o ho-
nynt yn fy erbyn: ac yn awr y mae yn
rhaid i mi farw, er na wneuthum i'm hoes y
pethau y mae'r gwŷr hyn wedi eu drwg-
ddychymmyg i'm herbyn.
44 A'r Arglwydd a wrandawodd ar ei llef
hi.
45 Ac wrth fyned â hi i'w marwolaeth, yr
Arglwydd a gyffrôdd yspryd sanctaidd llen-
gcyn ieuangc, a'i enw Daniel,
46 Yr hwn a lefodd yn uchel, Gwirion
wyf fi oddi wrth waed y wraig hon.
47 A'r holl bobl a droisant atto ef, ac a
ddywedasant, Beth yw 'r ymadrodd hwn a
ddywedaist ti?
48 Ac efe a safodd yn eu canol hwynt, ac
a ddywedodd, O Israëliaid, a ydych chwi
mor ansynhwyrol a gadael yn euog ferch o
Israel heb lwyr-chwilio a gwybod y gwiri-
onedd?
49 Trowch eilchwel i 'r frawdle: canys ty-
stiolaethu a wnaethant gelwydd yn ei her-
byn hi.
50 A'r holl bobl a droisant ar ffrwst. A'r
henafgwŷr a ddywedasant wrtho, Tyred,
eistedd yn ein plith, a dangos i ni, gan i
Dduw roddi i ti fraint henuriad.
51 A Daniel a ddywedodd wrthynt, Neill-
duwch hwy oddi wrth eu gilydd ym mhell,
a mi a'u holaf hwynt.
52 A phan ddarfu neillduo 'r naill oddi
wrth y llall, efe a alwodd un o honynt, ac a
ddywedodd wrtho, O dydi hen mewn dry-
gioni, yr awrhon y daeth dy bechodau yn
dy erbyn, y rhai a wnaethost o'r blaen,
53 A'th gam-farnau a fernaist yn gadael
yn euog y gwirion, ac yn rhyddhâu 'r anwir;
lle y dywedodd yr Arglwydd, [a] Na ladd y
gwirion a'r cyfiawn.

a Exod. 23. 7.

54 Felly yn awr, os gwelaist ti hon,
dangos dan ba ryw bren y gwelaist ti hwy
ynghŷd? Yna 'r attebodd yntau, Dan § len-
tysc-bren.

§ bren mastig.

55 A Daniel a ddywedodd, Gwych y dy-
wedaist gelwydd yn erbyn dy ben dy hun;
canys Angel yr Arglwydd a dderbyniodd
farn Duw i'th wahanu di yn ddau.
56 Yna wedi troi hwnnw heibio, efe a ba-
rodd ddyfod â'r llall, ac a ddywedodd wrtho,
O hiliogaeth Canaan, ac nid Judah, tegwch
a'th dwyllodd di, a chwant a lygrodd dy
galon.
57 Fel hyn y gwnaethoch chwi â mer-
ched Israel, y rhai rhag ofn a gyttunasant â

chwi: eithr merch Judah nid arhoai eich anwiredd chwi.

58 Felly dywed i mi, Dan ba ryw bren y dèliaist ti hwynt ynghŷd? Ac efe a attebodd, Dan † brinwŷdden.

† math ar dderwen.

59 A Daniel a ddywedodd wrtho, Gwŷch y dywedaist tithau hefyd gelwydd yn erbyn dy ben dy hun: canys y mae Angel yr Arglwydd yn aros â'r cleddyf ganddo, i'th dorri di yn dy hanner, ac i'ch difetha chwi eich deuoedd.

60 Yna y llefodd yr holl gynnulleidfa â llef uchel, gan foli'r Arglwydd yr hwn a wared y sawl a ymddiriedo ynddo ef.

61 A hwy a godasant yn erbyn y ddau henuriad; (canys Daniel a'u dàliasai hwynt ar eu geiriau eu hunain yn euog o gam-dystiolaeth;)

62 A [b] hwy a wnaethant iddynt y modd yr amcanasent hwy wneuthur ar gam â'u cymmydog, ac a'u rhoddasant i'w marwolaeth, yn ol cyfraith Moses. Felly y gwaredwyd y gwaed gwirion y dydd hwnnw.

[b] Deut. 19. 19. Diar. 19. 5.

63 Yna Chelcias a'i wraig a glodforasant Dduw dros eu merch Susanna, gyd â Joacim ei gwr hi, a'r holl genedl, am na chawsid ynddi ddim anonestrwydd.

64 Ac o'r dydd hwnnw allan yr oedd Daniel mewn parch mawr ym mhlith y bobl.

---

† Draig Bèl.

## ¶ HISTORI DINYSTR † BEL A'R DDRAIG, WEDI EI THORRI YMAITH ODDI WRTH DDIWEDD DANIEL.

Tach. 23. B. 19 *Twyll a hûd Offeiriaid Bèl, a'u datguddio gan Ddaniel, 27 a lladd y Ddraig yr oeddid yn ei haddoli, 33 Cadw Daniel yn ffau'r llewod. 41 Y brenhin yn cydnabod Duw Daniel, ac yn bwrw ei elynion ef i'r un ffau.*

A'R brenhin Astyages a roddwyd at ei dadau, a Cyrus o Persia a gymmerodd ei frenhiniaeth ef.

2 A Daniel oedd yn byw gyd â'r brenhin, ac yn fwy urddasol nâ'i holl gyfeillion.

3 Ac yr ydoedd eilun gan y Babiloniaid, a elwid Bèl, ar yr hwn yr oeddid yn treulio beunydd ddeuddeng mesur mawr o beillaid, a deugain o ddefaid, a chwe llestr o win.

4 A'r brenhin a'i haddolai ef, a beunydd yr âi i ymgrymmu iddo. Eithr Daniel a addolai ei Dduw ei hun. A'r brenhin a ddywedodd wrtho, Paham nad wyt ti 'n addoli Bèl?

5 Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, Am nad anrhydeddafi eilunod gwneuthuredig â dwylaw, ond y Duw byw, yr hwn a wnaeth y nef a'r ddaear, ac a sydd iddo feddiant ar bob cnawd.

6 A'r brenhin a ddywedodd wrtho, Onid wyt ti yn tybied mai duw byw yw Bèl? oni weli di faint y mae efe yn ei fwytta ac yn ei yfed beunydd?

7 A Daniel a ddywedodd dan chwerthin, Na thwyller di, O frenhin: hwn oddi mewn sydd glai, ac oddi allan yn bres, [a] ni fwyttaodd ac nid yfodd erioed.

[a] Eccl. 30. 19.

8 Yna'r brenhin yn ddigllawn a alwodd ei offeiriaid, ac a ddywedodd wrthynt, Oni ddywedwch i mi pwy sydd yn bwytta'r draul hon, meirw fyddwch.

9 Eithr os gellwch chwi ddangos i mi fod Bèl yn bwytta'r pethau hyn, marw a gaiff Daniel: am iddo ddywedyd cabledd yn erbyn Bèl. A Daniel a ddywedodd wrth y brenhin, Fel y dywedaist, bydded.

10 (Offeiriaid Bèl oeddynt ddeg a thrugain, heb law eu gwragedd a'u plant.) A'r brenhin a aeth gyd â Daniel i deml Bèl.

11 A'r offeiriaid hefyd a ddywedasant, Wele, ni a awn allan: dod di, O frenhin, y bwydydd *yn eu lle*, a gosod y gwin, wedi i ti ei gymmysgu, a chau'r drws, a selia â'th fodrwy dy hun.

12 A'r bore pan ddelych, oni bydd Bèl wedi bwytta'r cwbl, lladder ni; os amgen, Daniel, yr hwn a ddywedodd gelwydd yn ein herbyn ni.

13 A difofal oeddynt. O herwydd dan y bwrdd y gwnaethent ffordd, i'r hon yr aent i mewn bob amser, ac y llwyr-fwyttaent y pethau hynny.

14 Yna wedi iddynt fyned allan, ac i'r brenhin osod y bwydydd ger bron Bèl, y gorchymynodd Daniel i'w weision ddwyn lludw, yr hwn a daenasant dros gwbl o'r deml yngŵydd y brenhin ei hun. Ac wedi eu myned allan, hwy a gauasant y porth, ac a'i seliasant â modrwy'r brenhin, ac a aethant ymaith.

15 A'r offeiriaid a aethant i mewn, gefn y nos, (yn ol eu harfer,) â'u gwragedd a'u plant, ac a fwyttasant ac a yfasant y cwbl.

16 A'r bore y brenhin a gododd yn fore iawn, a Daniel gyd ag ef.

17 A'r brenhin a ddywedodd, A ydyw y seliau yn gyfan, Daniel? Ac yntau a attebodd, Y maent yn gyfan, O frenhin.

18 A chyn gynted ag yr agorasid y drws, y brenhin a edrychodd tu a'r bwrdd, ac a lefodd yn uchel, Mawr wyt ti, O Bèl, ac nid oes dim twyll gyd â thi.

19 Yna Daniel a chwarddodd, ac a ddàliodd y brenhin rhag myned i mewn, ac a ddywedodd, Gwel y llawr, ac edrych ôl traed pwy *yw*'r rhai'n.

20 A'r brenhin a ddywedodd, Mi a welaf ôl traed gwŷr, a gwragedd, a phlant. Ac yna y digiodd y brenhin.

21 Ac a ddàliodd yr offeiriaid, a'u gwragedd, a'u plant, y rhai a ddangosasant iddo y drysau dirgel, i'r rhai yr oeddynt yn myned i mewn, i fwytta'r pethau oedd ar y bwrdd.

22 A'r brenhin a'u lladdodd hwynt, ac a roes Bèl ar law Daniel, yr hwn a'i dinystriodd ef a'i deml.

23 † Yr oedd hefyd ddraig fawr yno, a'r Babiloniaid a'i haddolent hi.

† Rhai a 'chwanegant y tid hwn. Am y Ddraig.

24 A'r brenhin a ddywedodd wrth Ddaniel, A ddywedi di mai efydd yw hon? Wele hi yn fyw, ac yn bwytta, ac yn yfed. Ni elli di ddywedyd nad yw hon dduw byw: am hynny addola hi.

25 A dywedodd Daniel, Myfi a addolaf yr Arglwydd fy Nuw: canys efe yw'r Duw byw.

26 Eithr tydi, O frenhin, dod i mi *gennad*, a mi a laddaf y ddraig hon, heb na chleddyf na ffon. A'r brenhin a ddywedodd, Yr ydwyf yn rhoddi i ti gennad.

27 Yna y cymmerth Daniel byg, a gwer,
a blew, ac a'u berwodd ynghŷd, ac a
wnaeth dammeidiau o honynt, ac a'u
rhoes yn safn y ddraig; a'r ddraig a dor-
rodd ar ei thraws. Ac efe a ddywedodd,
Wele 'r † pethau yr ydych chwi yn eu ha- † *duwiau.*
ddoli.
28 Ac fe ddigwyddodd i 'r Babiloniaid,
pan glywsant hynny, ddirfawr-lidio, a throi
yn erbyn y brenhin, gan ddywedyd, Y bren-
hin a aeth yn Iuddew; Bêl a ddistrywiodd
efe, a'r Ddraig a laddodd, ac a roes yr offeir-
iaid i farwolaeth.
29 Ac wedi eu dyfod at y brenhin, y dy-
wedasant, Dod i ni Ddaniel; oni's rhoi, ni
a'th ddifethwn di a'th dŷ.
30 Pan welodd y brenhin eu bod hwy yn
daer iawn arno, yna y gorfu iddo, o'i anfodd,
[b] roi Daniel iddynt. b Dan. 6. 16.
31 A hwythau a'i bwriasant ef i ffau y
llewod, lle y bu efe chwe diwrnod.
32 Ac yn y ffau yr oedd saith o lewod,
i 'r rhai y rhoid beunydd ddau ‡ gorph, ‡ *gaeth-was.*
a dwy ddafad, y rhai y pryd hynny ni
roisid iddynt, fel y gallent lyngcu Da-
niel.
33 A Habaccuc y prophwyd oedd yn Ju-
dea, ac efe a ferwasai sêw, ac a friwasai
fara mewn cawg, ac oedd yn myned i'w
ddwyn i'r maes i fedelwŷr.
34 Ac Angel yr Arglwydd a ddywedodd
wrth Habaccuc, Dwg y ciniaw sydd gennyt
hyd yn Babilon, i Ddaniel, *yr hwn sydd yn*
*ffau* y llewod.
35 A Habaccuc a ddywedodd, Arglwydd,
ni welais i Babilon erîoed; ac ni wn i pa le
y mae'r ffau.
36 Yna Angel yr Arglwydd a'i cym-
merth ef erbyn ei goryn, ac [c] wedi iddo ei c Esec. 8. 3.
ddwyn erbyn gwallt ei ben, a'i dodes ef
yn Babilon, oddi ar y ffau, trwy nerth ei
yspryd ef.
37 A Habaccuc a lefodd, gan ddywedyd,
Daniel, Daniel, [d] cymmer y ciniaw a an- d 1 Bren. 17. 3, 4.
fonodd Duw i ti.
38 Yna y dywedodd Daniel, Ti a feddyl-
iaist am danaf, O Dduw, ac ni adewaist
*mewn gwall* y rhai a'th geisiant, ac a'th
garant.
39 Felly Daniel a gyfododd i fynu, ac a
fwyttaodd. Ac angel yr Arglwydd a ddodes
Habaccuc yn ebrwydd yn ei le ei hun.
40 A'r brenhin a aeth y seithfed dydd i
alaru am Ddaniel; a phan ddaeth at y ffau,
efe a edrychodd i mewn, ac wele *yr oedd*
Daniel yn eistedd.
41 Yna y llefodd y brenhin â llef uchel,
ac a ddywedodd, Mawr wyt ti, O Ar-
glwydd Dduw Daniel; ac nid oes arall
§ ond tydi. § *heb dy law di.*
42 [e] Ac efe a'i tynnodd ef allan o'r ffau,
ac a fwriodd y rhai oedd achos o'i ddifetha e Jer. 37. 17.
ef i 'r ffau: a hwy a lyngcwyd yn y fan o
flaen ei lygaid ef.

---

## ¶ GWEDDI MANASSES BRENHIN JUDAH, PAN OEDDID YN EI DDAL EF YN GARCHAROR YN BABILON.

OH Arglwydd, holl-alluog Dduw ein tadau, Abraham, Isaac, a Jacob, a'u cyfiawn hiliogaeth hwynt: yr hwn a wnaethost nefoedd a daear, a'u gwychder oll: yr hwn a rwymaist y môr â gair dy orchymyn; yr hwn a gauaist y dyfnder, ac a'i seliaist â'th enw ofnadwy a gogoneddus: yr hwn y mae pob peth yn ei ofni, ac yn crynu rhag wyneb dy nerth: O blegid ni ellir aros mawredd dy ogoniant, na dioddef digter dy fygwth yn erbyn pechaduriaid. Eithr trugaredd dy addewid di sydd anfeidrol, ac anchwiliadwy: o blegid tydi sydd Arglwydd goruchaf, daionus, ymarhöus, mawr ei drugaredd hefyd, ac edifeirol am † ddrwg dŷn. Tydi, O Arglwydd, yn ol amldra dy ddaioni, a addewaist edifeirwch a maddeuant i 'r rhai a bechasant i'th erbyn, ac yn amldra dy dosturiaeth a ordeiniaist edifeirwch i bechaduriaid er iachawdwriaeth. Am hynny tydi, O Arglwydd Dduw y rhai cyfiawn, ni osodaist edifeirwch i 'r rhai cyfiawn, i Abraham, Isaac, a Jacob, y rhai ni phechasant i'th erbyn, ond ti a osodaist edifeirwch er fy mwyn i bechadur. Mi a bechais yn fwy nâ rhifedi tywod y môr, fy anwireddau a amlhasant, O Arglwydd, fy anwireddau a amlhasant, ac nid wyf deilwng i edrych, ac i weled uchder y nefoedd, o herwydd amldra fy anwireddau. Mi a grymmais i lawr gan rwymau haiarn, fel na allwyf godi fy mhen, ‡ ni allaf chwaith gymmeryd fy anadl, am gyffrôi o honof dy lid di, a gwneuthur yr hyn sydd ddrwg yn dy olwg: dy ewyllys ni's gwneuthum, a'th orchymynion ni's cedwais; gosodais i fynu ffieidd-dra, ac amlheais gamweddau. Ac yr awrhon yr ydwyf fi yn plygu glin fy nghalon, gan ddymuno daioni gennyt: pechais, O Arglwydd, pechais, ac yr ydwyf yn cydnabod fy anwireddau. Am hynny yr ydwyf fi yn deisyf, gan attolwg i ti, maddeu i mi, O Arglwydd, maddeu i mi, ac na ddifetha fi ynghŷd â'm hanwireddau, ac na chadw ddrwg i mi, gan ddigio byth wrthyf, ac na ddamnia fi i geudod y ddaear: canys tydi sydd Dduw, Duw meddaf i 'r edifeiriol: ac ynof fi y dangosi dy holl ddaioni: o blegid ti a'm hachubi i, yr hwn ydwyf annheilwng, yn ol dy fawr drugaredd. Am hynny y'th foliannaf di bob amser, holl ddyddiau fy einioes: o blegid y mae holl nerthoedd y nefoedd yn dy foliannu di, ac i ti y mae 'r gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

Ynghylch 676.

† *ddrygau dynion.*

‡ *nid wyf yn cael esmwythdra.*

# ¶ LLYFR CYNTAF Y MACCABEAID.

## PEN. I.

*1 Antiochus yn rhoi gennad i osod i fynu arfer y Cenhedloedd yn Jerusalem, 22 ac yn ei hyspeilio hi, a'r Deml oedd ynddi, 57 ac yn gosod i fynu ynddi ffiaidd-dra 'r anrhaith, 53 ac yn lladd y rhai a enwaedent ar eu plant.*

A Digwyddodd wedi i Alexander y Ma-
cedoniad, mab Phylip, fyned allan o
wlad Chettim, a lladd Darius brenhin y Per-
siaid a'r Mediaid, a theyrnasu yn ei le ef,
fel y teyrnasai o'r blaen yn Groeg.
2 Efe a osododd ryfeloedd lawer, ac a
ynnillodd ddinasoedd cedyrn, ac a laddodd
frenhinoedd y ddaear,
3 Ac a dramwyodd hyd eithafoedd y
ddaear, ac a ddug anrhaith oddi ar lawer o
genhedloedd; a'r ddaear oedd yn llonydd
ger ei fron ef. Ac am hynny ei galon ef a
ddyrchafwyd, ac a falchïodd.
4 Ac wedi iddo ef gasglu llu cadarn iawn,
efe a lywodraethodd ar wledydd, a chenhed-
† brenhin-oedd. loedd, a † theyrnasoedd, ac a'u gwnaeth hwy
yn drethawl iddo.
5 Ac wedi hyn, efe a glafychodd, ac a
‡ ei fod yn marw. wybu ‡ y byddai farw.
6 Am hynny efe a alwodd am ei wasa-
naethwŷr, y rhai anrhydeddus, a'r rhai a
gyd-faethesid ag ef o'i ieuengctid, ac a
gyfrannodd ei deyrnas iddynt hwy, pan
oedd efe etto yn fyw.
7 Felly Alexander a deyrnasodd ddeu-
ddeng mlynedd, ac a fu farw.
8 A'i dywysogion ef a lywodraethasant,
bob un yn ei le.
9 A hwy oll a osodasant goronau *ar eu
pennau* wedi ei farw ef, a'u meibion ar eu hol,
lawer o flynyddoedd. A drygau a amlhaodd
ar y ddaear.
10 Ac o honynt hwy y daeth y gwrei-
ddyn pechadurus Antiochus Epiphanes, mab
Antiochus y brenhin, yr hwn a fuasai yn
176. wystl yn Rhufain. Ac efe a deyrnasodd yn
y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg ar hugain a
175. chant o frenhiniaeth y Groegwŷr.
11 Yn y dyddiau hynny dynion anwir a
aethant allan o Israel, ac a hudasant lawer,
gan ddywedyd, Awn a gwnawn ammod â'r
174. Cenhedloedd sy o'n hamgylch: canys er
§ llawer o ddrygau a gafodd afael arnom ni. pan y'n gwahaned oddi wrthynt hwy, § ni a
gawsom lawer o ddrygfyd.
12 A'r ymadrodd hwn oedd dda yn eu
golwg hwy.
13 A rhai o'r bobl a fuant mor barod, ag
yr aethant at y brenhin; ac efe a roddes
iddynt hwy awdurdod i wneuthur defodau y
Cenhedloedd.
ᵃ 2 Mac. 4. 11. 14 A hwy ᵃ a adeiladasant ysgol yn Jeru-
salem, yn ol arfer y Cenhedloedd;
ᵇ 1 Cor. 7. 18. 15 A hwy ᵇ a wnaethant ddïenwaediad
iddynt eu hunain, ac a giliasant oddi wrth
y cyfammod sanctaidd: ac wedi iddynt hwy
ᶜ 1 Bren. 21. 20, ymgyssylltu â'r Cenhedloedd, hwy ᶜ a ‖ ym-
‖ werth-wyd. roisant i wneuthur drwg.
16 Ac wedi sicrhâu'r deyrnas o flaen
Antiochus, efe a fwriadodd deyrnasu ar yr
Aipht, fel y gallai deyrnasu ar ddwy deyr-
nas.
ᵈ Dan. 11. 25. 17 Ac efe a aeth i mewn i'r Aipht ᵈ â
thorf fawr, â cherbydau, ag Elephantiaid a
gwŷr meirch, ac â llynges fawr.
18 Ac a ddechreuodd ryfela yn erbyn
Ptolemëus brenhin yr Aipht. A Ptole-
mëus a ofnodd o flaen ei olwg ef, ac a ffodd;
a llawer a syrthiasant yn archolledig.
19 A hwy a ynnillasant y dinasoedd am-
ddiffynnadwy yn nhir yr Aipht; ac *Antio-
chus* a gymmerodd yspail yr Aipht.
20 Ac Antiochus a ddychwelodd wedi
iddo daro'r Aipht, yn y drydedd flwyddyn 170.
a deugain a chant, ac ᵉ a aeth i fynu yn er- ᵉ Dan. 8.
byn Israel a Jerusalem â thyrfa fawr. 12.
21 Ac ᶠ efe a aeth i mewn yn falch i'r ᶠ Dan 11.
Cyssegr, ac a gymmerodd ymaith yr allor aur, 31.
a'r canhwyllbren *oedd yn dal* y goleuad, a'i
holl offer ef,
22 A bwrdd *y bara* gosod, a'r cawgiau, a'r
dysglau, a'r llwyau aur, a'r llèn, a'r coronau,
a'r trwsiad aur oedd ar y tu wyneb i'r Deml,
ac efe a dynnodd yr aur oddi arnynt hwy
oll.
23 Ac efe a gymmerodd yr arian a'r aur,
a'r llestri † gwerthfawr, ac a gymmerodd y † dymunol.
trysorau cuddiedig, y rhai a gafodd efe.
24 Ac wedi iddo gymmeryd y cwbl, efe
a aeth ymaith i'w wlad ei hun, ac a wnaethai
laddfa fawr, ac a ddywedasai yn falch dros
ben.
25 Am hynny y bu galar mawr ym mhlith
yr Israeliaid ym mhob lle o'r eiddynt
hwy;
26 Canys y tywysogion a'r henuriaid a
ocheneidiasant, y morwynion a'r gwŷr ieu-
aingc a lesgasant, a thegwch y gwragedd a
gyfnewidiwyd.
27 Pob prïodas-fab a gymmerodd alar, a'r
hon oedd yn eistedd yn yr ystafell brïodas
oedd mewn tristwch;
28 A'r wlad a gynhyrfodd o herwydd
ei thrigolion, a holl dŷ Jacob a wisgasid â
gwarth.
29 Wedi dwy flynedd lawn, ᵍ y brenhin 3836.
a ddanfonodd y tywysog oedd yn derbyn ᵍ 2 Mac. 5.
y deyrn-ged, i ddinasoedd Judah, yr hwn a 24.
ddaeth i Jerusalem â thyrfa fawr.
30 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy
eiriau heddychol yn dwyllodrus, a hwy a'i
credasant ef: ac efe a ruthrodd ar y ddinas
yn ddisymmwth, ac a'i tarawodd hi â phla
mawr, ac a ddistrywiodd lawer o bobl o
Israel;
31 Ac a gymmerodd yspail y ddinas, ac
a'i llosgodd hi â thân, ac a ddistrywiodd ei
thai hi a'i chaerau oddi amgylch.
32 A hwy a gaethiwasant y gwragedd
a'r plant, ac a berchennogasant yr anifeil-
iaid.
33 Yna yr adeiladasant ddinas Dafydd â
chaer fawr gref, ac â thyrau cedyrn, ac a'i
gwnaethant hi yn amddiffynfa gadarn iddynt
eu hun.
34 Heb law hyn, hwy a osodasant y ge-
nedl bechadurus yno, sef y dynion annedd-
fol: a hwy a ymgadarnhasant ynddi hi.
35 A hwy a gludasant iddi arfau a bwyd:
ar wedi iddynt hwy gasglu yspail Jerusalem
ynghŷd, hwy a'i gosodasant ef yno, ac felly
hwy a fuant yn rhwyd flin.
36 Canys yr oedd yn gynllwynfa yn erbyn
y Cyssegr, ac yn wrthwynebwr blin i Israel
bob amser.
37 Fel hyn y tywalltasant waed gwirion
o amgylch y Cyssegr, ac yr halogasant y lle
sanctaidd.
38 A thrigolion Jerusalem a ffoisant o'u
plegid hwy. A'r dref oedd yn breswylfa
i ddïeithriaid, ac oedd yn estronaidd i'w

meibion ei hun, a'i phlant ei hun a'i gadawsant hi.

39 Ei chyssegr hi a wnaethid yn anghyfannedd fel y diffaethwch, [h] ei gwyliau hi a dröwyd yn alar, ei Sabbothau yn waradwydd, ei hanrhydedd yn ddirmyg.

h 2 Mac. 6. 6.

40 Fel y buasai ei pharch hi, felly yr oedd ei hammharch hi, a'i hardderchowgrwydd a droisai yn alar.

41 A'r brenhin a 'sgrifenodd at ei holl deyrnas am fod o bawb yn un bobl,

42 Ac ymadael o bob dŷn â'i gyfreithiau ei hun. A'r holl genhedloedd a dderbyniasant orchymyn y brenhin.

43 A llawer o Israel a gyttunasant â'i grefydd ef, ac a aberthasant i eilunod, ac a halogasant y Sabboth.

44 Canys y brenhin a ddanfonasai lythyrau gyd â chennadon i Jerusalem, ac i ddinasoedd Judah, ar iddynt fyned ar ol deddfau † dïeithr y wlad,

† dieithriaid.

45 A gwahardd poeth-offrymmau, a bwyd-offrwm, a diod-offrwm, yn y Cyssegr; a halogi'r Sabbothau, a'r gwyliau;

46 A difwyno'r Cyssegr a'r bobl sanctaidd:

47 Adeiladu allorau, a llwyni, a themlau eilunod, ac aberthu cig moch, ac anifeiliaid aflan;

48 A gadael eu meibion yn ddïenwaededig, a gwneuthur eu heneidiau yn ffiaidd â phob aflendid a halogrwydd;

49 Fel y gollyngent hwy y gyfraith dros gof, ac y cyfnewidient yr holl ddeddfau.

50 [i] A'r hwn ni wnelai yn ol gorchymyn y brenhin, y byddai raid iddo farw.

i 2 Mac. 6. 9.

51 Efe a 'sgrifenodd at ei holl deyrnas yn ol yr holl eiriau hyn, ac [k] a wnaeth wyliadwŷr ar yr holl bobl, gan orchymyn i ddinasoedd Judah aberthu o ddinas i ddinas.

k 2 Mac. 5. 22.

52 Am hynny llawer o'r bobl a ymgasglasant attynt hwy, sef pwy bynnag a adawsai'r gyfraith: a hwy a wnaethant ddrwg yn y wlad.

53 A hwy [l] a ‡ wnaethant i Israel lechu mewn lleoedd cuddiedig, *sef* yn eu holl lochesau.

l 2 Mac. 6. 11. Heb. 11. 38.

‡ yrrasant Israel i leoedd dirgel, i ba le bynnag y gallent ffoi i lechu.

54 A'r pymthegfed dydd o'r mis Casleu, yn y bummed flwyddyn a deugain, a chant, hwy a osodasant [m] y ffieidd-beth anrheithiol ar yr allor; ac o fewn dinasoedd Judah oddi amgylch, hwy a adeiladasant allorau eilunod;

Edrych Pen. 2. 31, 36, 41.

m Dan. 11. 31.

55 Ac a arogl-darthasant yn nrysau'r tai, ac yn yr heolydd:

56 Ac a rwygasant lyfrau'r gyfraith, y rhai a gawsant hwy, *ac* a'u llosgasant â thân.

57 A pha le bynnag y ceid llyfr y cyfammod gyd â neb, neu os cyttunai neb â'r gyfraith, § efe a leddid wrth orchymyn y brenhin.

§ gorchymyn y brenhin a'u ladd, iddynt ei ladd ef.

58 Wrth eu cryfder hwy a wnaent felly i'r Israëliaid a geid bob mis yn y dinasoedd.

59 A'r unfed *dydd* ar hugain o'r mis, wrth aberthu ar allor yr eilunod, yr hon oedd ar allor Duw;

60 [n] Hwy a laddasant rai gwragedd wrth orchymyn *Antiochus*, y rhai a barasai enwaedu ar eu meibion:

n 2 Mac. 6. 10.

61 Ac a grogasant y plant bychain wrth eu gyddfau hwy, ac a yspeiliasant eu tai hwy, ac a laddasant *y rhai* a enwaedasai arnynt hwy.

62 Er hynny llawer yn Israel a roisant eu bryd yn gwbl, ac a ymsicrhasant ynddynt eu hunain na fwyttaent bethau aflan.

63 A hwy a ddewisasant farw, rhag eu llygru â bwydydd, a rhag halogi o honynt hwy y cyfammod sanctaidd. A hwy a ddioddefasant farwolaeth.

64 A bu digofaint mawr iawn ar Israel.

## PEN. II.

6 *Mattathïas yn cwyno cyflwr Jerusalem: 24 Yn lladd Iuddew a aberthodd i eilunod yn ei ŵydd ef, a chennad y brenhin hefyd: 34 Gosod arno ef a'i bobl ar y Sabboth, a hwythau heb wrthwynebu. 49 Mattathïas yn marw, ac yn addysgu ei feibion, 66 ac yn gwneuthur Judas Maccabëus eu brawd hwy, yn ben.*

YN yr amseroedd hynny, Mattathïas mab Ioan, fab Simeon, offeiriad o hiliogaeth [a] Joarib, a gododd i fynu o Jerusalem ac a breswyliodd ym Modin.

a 1 Chron. 24. 7.

2 Ac iddo ef yr oedd pùm mab; Ioannan, yr hwn a elwid † Cadis;

† Gàdis.

3 Simon, yr hwn a elwid Thassi;

4 Judas, yr hwn a elwid Maccabëus;

5 Eleazar, yr hwn a elwid ‡ Abaron; a Jonathan, yr hwn a elwid Apphus.

‡ Afaran neu, Afaron.

6 Pan welodd efe y cabledd a wnaethid o fewn Judah a Jerusalem,

7 Efe a ddywedodd, Gwae fi fy ngeni i weled cystudd fy mhobl, a chystudd y ddinas sanctaidd, a'm bod yn trigo yno, pan roddwyd hi yn llaw y gelynion, a'r Cyssegr yn llaw dïeithriaid.

8 Ei theml a wnaethpwyd fel gwr heb ogoniant.

9 [b] Ei llestri parchedig hi a ddygpwyd ymaith i gaethiwed; ei phlant bychain hi a ladded yn yr heolydd, a'i gwŷr ieuaingc hi â chleddyf y gelyn.

b Pen. 12. 23, 24.

10 Pa genedl sydd a'r ni chafodd ràn o'i theyrnas hi, ac ni ymaflodd yn ei hyspail hi?

11 Dygpwyd ymaith ei holl harddwch hi: gwnaethpwyd hi yn forwyn gaeth o wraig rŷdd.

12 Canys wele, ein Cyssegr, a'n harddwch, a'n gogoniant, a anrheithiwyd, a'r Cenhedloedd a'u halogasant hwy.

13 I ba beth y byddwn fyw yn hŵy nâ hyn?

14 A Mattathïas a'i feibion a rwygasant eu dillad, ac a ymwisgasant mewn llïain sach, ac a alarasant yn ddirfawr.

15 Yna gweinidogion y brenhin, y rhai a gymhellent y bobl i § Apostasi, a ddaethant i ddinas Modin, i'w gyrru hwy i aberthu.

§ ymwrthod â'u crefydd.

16 Llawer o Israel a ddaethant attynt hwy, Mattathïas hefyd a'i feibion a gasglwyd ynghŷd.

17 A gweinidogion y brenhin a attebasant, ac a lefarasant wrth Mattathïas, gan ddywedyd, Tywysog, a pharchedig, a mawr wyt ti yn y ddinas hon, a chadarn o feibion ac o frodyr;

18 Gan hynny tyred yn gyntaf yr awrhon, a gwna orchymyn y brenhin, fel y gwnaeth yr holl genhedloedd, a gwŷr Judah, a'r rhai a adawed yn Jerusalem; felly ti a gei fod a'th dylwyth ym mhlith cyfeillion y brenhin, a thydi a'th feibion a anrhydeddir ag arian, ac ag aur, ac â rhoddion lawer.

19 A Mattathïas a attebodd, ac a ddywedodd â llefερydd uchel, Pe gwrandawai'r holl genhedloedd a'r sy dan lywodraeth y brenhin arno ef, ac ymado o bawb allan o grefydd eu hynafiaid, a chyttuno â'i orchymynion ef;

20 Etto myfi, a'm meibion, a'm brodyr a
rodiwn ynghyfammod ein tadau.
*† Na atto Duw i ni adael, &c.* 21 † Duw a drugarhao wrthym, rhag ga-
dael o honom y gyfraith a'r deddfau.
22 Ni wrandawn ni ar eiriau'r brenhin i
ŵyro oddi wrth ein gwasanaeth, tu a'r llaw
ddehau, neu 'r llaw aswy.
23 Pan beidiodd efe â dywedyd y geiriau
hyn, rhyw Iuddew a ddaeth yn eu gŵydd
hwy i aberthu ar yr allor ym Modin, yn ol
gorchymyn y brenhin.
24 Pan welodd Mattathïas hyn, efe a
wynfydodd, a'i arennau a grynasant, ac ni
fedrodd ymattal rhag dangos ei lid yn ol
barn, ac a redodd ac a'i lladdodd ef ar yr
allor.
25 Ac efe a laddodd yr amser hwnnw wa-
sanaethwr y brenhin, yr hwn oedd yn *eu*
cymmell *hwy* i aberthu, ac a ddistrywiodd yr
allor.
26 Ac efe a ddug zel tu ag at gyfraith
c Num. 25. 7, 8. Dduw, fel y gwnaeth c Phineas i Zambri fab
Salom.
27 A Mattathïas a lefodd yn y ddinas â
llef uchel, gan ddywedyd, Pwy bynnag sy'n
dwyn zel i'r gyfraith, ac sy'n cadw'r cy-
fammod, canlyned fi.
28 Ac efe a'i feibion a ffoisant i'r my-
nyddoedd, ac a adawsant beth bynnag oedd
ganddynt yn y ddinas.
29 Yna llawer, y rhai oedd yn ceisio cyf-
iawnder a barn, a ddaethant i wared i'r ani-
alwch hwnnw, i aros yno;
30 Hwynt-hwy, a'u meibion, a'u gwra-
*‡ drygau a amlhasent arnynt.* gedd, a'u hanifeiliaid, canys ‡ llawer o ddrwg
a ddaethai arnynt hwy.
31 A mynegwyd i wŷr y brenhin, ac
d Pen. 1. 53. d i'r lluoedd, y rhai oedd yn Jerusalem yn
ninas Dafydd, fyned o wŷr a dorrasai orch-
ymyn y brenhin i wared i lochesau yn yr
anialwch.
32 A llawer a erlidiodd ar eu hol hwy, ac
a'u goddiweddasant hwy, ac a wersyllasant
yn eu herbyn hwy, ac a osodasant ryfel yn
eu herbyn hwy ar y dydd Sabboth,
33 Ac a ddywedasant wrthynt hwy, Di-
gon yw hyn a wnaethoch, deuwch allan, a
gwnewch yn ol gorchymyn y brenhin, a
chwi a gewch eich hoedl.
34 A hwy a ddywedasant, Ni ddeuwn ni
e Pen. 1. 45. allan, ac ni wnawn ni e orchymyn y brenhin,
i halogi y dydd Sabboth.
35 Am hynny hwy a brysurasant i ryfel
yn eu herbyn hwynt.
36 Ond nid attebasant iddynt hwy, ac ni
thaflasant garreg attynt hwy, ac ni chauasant
hwy y llochesau, gan ddywedyd,
37 Ni a ddioddefwn farwolaeth oll yn ein
diniweidrwydd: y nef a'r ddaear a dysti-
olaetha trosom ni, eich bod chwi yn ein di-
*§ ar gam.* fetha § heb farn.
38 Felly hwy a godasant yn eu herbyn
hwy mewn rhyfel ar y dydd Sabboth; a
hwy a'u gwragedd, a'u plant, a'u hanifeil-
*‖ o eneidiau.* iaid, a fuant feirw hyd fil ‖ o ddynion.
39 Pan wybu Mattathias a'i gyfeillion
*hynny*, hwy a alarasant am danynt hwy'n
ddirfawr.
40 Yna'r naill a ddywedodd wrth y llall,
Os gwnawn ni oll, fel y gwnaeth ein bro-
dyr, ac oni ymladdwn ni yn erbyn y Cen-
hedloedd am ein heinioes a'n deddfau, hwy
a'n llwyr-ddifethant ni yr awr hon ar frys
oddi ar y ddaear.
41 A hwy a gymmerasant gyngor y diwr-
nod hwnnw, gan ddywedyd, Pwy bynnag
a ddelo i'n herbyn ni i ryfela ar y dydd Sab-
both, ni a ymladdwn yn ei erbyn ef; rhag
ein meirw oll, fel y bu feirw ein brodyr yn
y llochesau.
42 Yna cynnulleidfa o'r Assideaid a ym-
gasglasant attynt hwy, *y rhai oedd* wŷr cry-
fion o Israel, *sef* pwy bynnag oedd yn ewy-
llysgar yn ymroddi i'r gyfraith.
43 A phawb a'r oedd yn ffoi rhag erlid a
ymgyssylltasant â hwy, ac a fuant yn ga-
dernid iddynt hwy.
44 A hwy a gasglasant lu *o wŷr*, ac a
laddasant y pechaduriaid yn eu dig, a'r
gwŷr anneddfol yn eu llidiowgrwydd:
a'r llaill a ffoisant at y Cenhedloedd am
help.
45 Yna Mattathïas a'i gyfeillion a dra-
mwyasant o amgylch, ac a ddistrywiasant yr
allorau.
46 A thrwy nerth hwy a enwaedasant ar
y plant dienwaededig, cymmaint ag a gaw-
sant hwy o fewn terfynau Israel:
47 Ac a erlidiasant y dynion beilchion:
a'r gwaith hwn a lwyddodd yn eu dwylaw
hwynt.
48 A hwy a waredasant y gyfraith o
law y Cenhedloedd, ac o law y brenhi-
noedd; ac ni † roisant hwy ‡ gryfder i'r *† oddefasant i'r pechadur fuddugoliaethu.*
pechadur.
49 A phan nesaodd dyddiau Mattathïas
i farw, efe a ddywedodd wrth ei feibion,
Balchder ac argyoeddiad a gawsant gryf- *‡ gorn.*
der yr awrhon, ac amser distryw a dig lli-
diog.
50 Gan hynny, fy meibion, dygwch zel
yr awrhon i'r gyfraith, a rhoddwch eich
hoedl dros gyfammod eich tadau.
51 Cofiwch weithredoedd ein tadau, y
rhai a wnaethant hwy yn eu § hamseroedd: *§ cenhedlaethau.*
felly chwi a dderbyniwch fawr barch, ac
enw tragywyddol.
52 f Oni chaed Abraham yn ffyddlon f Gen. 22. 9, 10.
mewn profedigaeth, a hynny a gyfrifwyd Rhuf. 4. 3.
iddo ef yn gyfiawnder?
53 g Joseph yn amser ei gyfyngder a gad- g Gen. 41.
wodd y gorchymyn, ac a wnaethpwyd yn 40.
arglwydd ar yr Aipht.
54 h Phineas ein tad, wrth ddwyn zel, h Num. 25.
a gafodd ammod am offeiriadaeth dragy- 13.
wyddol. Eccl. 45. 23, 24.
55 i Joshua, am gyflawni gair *Duw*, a i Jos. 1. 2.
wnaethpwyd yn farnwr ar Israel.
56 k Caleb, am dystiolaethu ger bron y k Num. 14.
gynnulleidfa, a gafodd etifeddiaeth o'r tir. 6, 7.
57 l Dafydd yn ei drugaredd a etifedd- Jos. 14. 13.
odd orsedd-faingc y deyrnas dragywy- l 2 Sam. 2. 4.
ddol.
58 m Elïas, wrth ddwyn zel i'r gyfraith, m 2 Bren.
a gymmerwyd i fynu i'r nefoedd. 2. 11.
59 n Ananïas, Azarïas, a Misael, am id- n Dan. 3.
dynt gredu a achubwyd o'r tân. 16, 17, 18, 26.
60 o Daniel yn ei wiriondeb a waredwyd
oddi wrth safnau'r llewod. o Dan. 6. 22.
61 Ac felly ystyriwch ym mhob oes, pwy
bynnag sydd yn ymddiried ynddo ef, ni
orchfygir ef.
62 Am hynny nac ofnwch rhag geiriau
gwr pechadurus: Canys ei ogoniant ef *a fydd*
yn dom a phryfed.
63 Heddyw efe a ddyrchefir, ac y foru ni
bydd efe i'w gael, canys p trodd i'w bridd, a p Gen. 3.
darfu am ei amcan. 19.
64 Gan hynny fy meibion, cymmerwch Psal. 146. 4.
galonnau, ac ymwrolwch ym mhlaid y gy-
fraith; canys chwi a gewch barch oddi wrthi
hi.

65 Ac wele Simon eich brawd, mi a wn mai gwr cynghorus yw efe; gwrandêwch arno ef bob amser; efe a fydd yn dad i chwi.

66 Ac am Judas Maccabëus, yr oedd efe yn gryf ac yn nerthol o'i ieuengctid, bydded efe gapten i chwi, ac † ordeiniwch ryfel y bobloedd.

† *ymleddwch.*

67 Felly y dygwch attoch bawb a'r y sy 'n cadw 'r gyfraith, a dïelwch gàm eich pobl.

68 Telwch hyd adref i'r Cenhedloedd, a gwyliwch ar orchymynion y gyfraith.

69 Yna efe a'u bendithiodd hwy, ac efe a roddwyd at ei hynafiaid.

70 Ac efe a fu farw yn y chweched flwyddyn a deugain a chant, a'i feibion a'i claddasant ef ym medd ei hynafiaid ym Modin: a holl Israel a alarodd am dano ef â galar mawr.

## PEN. III.

1 *Gwychder ac enw Judas Maccabëus.* 10 *Y mae efe yn gorchfygu galluoedd Samaria a Syria.* 27 *Antiochus yn danfon gallu mawr yn ei erbyn ef:* 44 *Yntau a'r eiddo yn ymrôi i ymprydio, ac i weddio,* 58 *a'u cysuro hwy.*

YNA Judas, yr hwn a elwid Maccabëus, ei fab ef, a gododd i fynu yn ei le ef.

2 A'i holl frodyr a'i cymmorthasant ef, a phawb a'r a lynasai wrth ei dad ef: a hwy a ymladdasant ryfel Israel yn llawen.

3 Felly efe a helaethodd barch ei bobl, ac a wisgodd ddwyfronneg fel cawr, ac a ymwregysodd â'i arfau rhyfel, ac a osododd ryfeloedd, ac a amddiffynnodd y gwersyll â'r cleddyf.

4 Ac yr oedd efe yn debyg i lew yn ei weithredoedd, ac fel cenaw llew yn rhuo am ei ysglyfaeth.

5 Ac efe a erlidiodd y rhai drwg, gan chwilio am danynt, ac a losgodd y rhai oedd yn cythryblu ei bobl ef.

6 A'r rhai drwg a giliasant rhag ei ofn ef, a phawb a'r oedd yn gwneuthur drygioni a gyd-drallodwyd, am fod iachawdwriaeth yn llwyddo yn ei law ef.

7 Ac efe a wnaeth i lawer o frenhinoedd ofidio ac a lawenychodd Jacob â'i weithredoedd: ac y mae ei goffadwriaeth ef yn fendigedig yn dragywydd.

8 Ac efe a dramwyodd trwy ddinasoedd Judah, ac a ddistrywiodd y rhai annuwiol allan oddi yno, ac a drodd heibio ddigofaint oddi wrth Israel.

9 A'i enw ef a gerddodd hyd eithafoedd y ddaear, ac efe a † gasglodd y rhai oedd ar ddarfod am danynt.

† *dderbyniodd atto.*

10 Yna Apolonius a gasglodd y Cenhedloedd ynghŷd, a llu mawr o Samaria, i ryfela yn erbyn Israel.

11 Pan wybu Judas, efe a aeth i'w gyfarfod ef, ac a'i tarawodd ef, ac a'i lladdodd ef: a llawer a syrthiasant yn archolledig, a'r llaill a ffoisant.

12 Ac efe a gymmerodd eu hyspail hwy, a Judas a gymmerodd gleddyf Apolonius, ac a ymladdodd ag ef ei holl ddyddiau.

13 Pan glywodd Seron tywysog llu Syria, gasglu o Judas dyrfa a chynnulleidfa o ffyddloniaid, i fyned i ryfela gyd ag ef,

14 Efe a ddywedodd, Myfi a ynnillaf enw i mi fy hun, ac a gaf barch yn y deyrnas, ac a ryfelaf yn erbyn Judas, a'r rhai sy gyd ag ef, a'r rhai sy'n dïystyru gorchymyn y brenhin.

15 Ac efe a ymrodd i ddyfod i fynu: a chyd ag ef y daeth llu cryf o rai annuwiol i fynu i'w gynmorth ef, ac i wneuthur dïal ar feibion Israel.

16 Pan nesaodd efe yn gyfagos i riw Bethoron, Judas a aeth allan i'w gyfarfod ef â thorf fechan.

17 A phan welsant hwy y llu yn dyfod i'w cyfarfod, hwy a ddywedasant wrth Judas, Pa fodd y gallwn ni, a ninnau yn ychydig, ymladd yn erbyn llïaws cymmaint *a chyn* gryfed? yr ydym ni *hefyd* yn barod i ddiffygio, heb fwyd heddyw.

18 A Judas a ddywedodd, [a] Hawdd ydyw cau llawer yn nwylaw ychydig: ac nid oes ragoriaeth ger bron *Duw* nef, rhwng achub â llawer neu ag ychydig.

[a] 1 Sam. 14. 6. 2 Chron. 14. 11.

19 Canys nid yn llïosowgrwydd y llu y mae buddugoliaeth y rhyfel, ond o'r nef y mae cadernid.

20 Maent hwy yn dyfod ‡ attom ni mewn mawr § draha a chamwedd, i'n difetha ni, a'n gwragedd, a'n plant, ac i'n hyspeilio.

‡ *yn ein herbyn.* § *falchder,* neu, *gynfigen.*

21 Ond nyni ydym yn ymladd am ein heinioes a'n cyfreithiau.

22 A *Duw* a'u dryllia hwy ger ein bron ni. Gan hynny nac ofnwch chwi rhagddynt hwy.

23 A phan beidiodd efe â dywedyd, efe a neidiodd yn ddisymmwth arnynt hwy: ac felly y difethwyd Seron a'i wersyll o'i flaen ef.

24 A hwy a'u herlidiasant hwy ar hŷd goriwared Bethoron, hyd y gwastadedd, ac yno y lladded ynghylch wyth cant o wŷr o honynt hwy: a'r llaill a ffoisant i wlad y Philistiaid.

25 Yna ofn Judas a'i frodyr, ac arswyd mawr a ddechreuodd syrthio ar y Cenhedloedd o'u hamgylch hwy.

26 A'i enw ef a gyrhaeddodd hyd at y brenhin, a phob cenedl a fynegai ryfeloedd Judas.

27 A phan glybu Antiochus y brenhin y geiriau hyn, efe a ddigiodd yn llidiog, ac a ddanfonodd allan, ac a gasglodd holl fyddinoedd ei deyrnas, llu cryf iawn.

28 Ac efe a agorodd ei drysor-dŷ, ac a roddes gyflogau i'w luoedd dros flwyddyn, ac a orchymynodd iddynt hwy fod yn barod dros flwyddyn, ‖ pa bryd bynnag y byddai raid iddo wrthynt hwy.

‖ *wrth bob angen.*

29 Ond pan welodd efe yr arian o'i drysorau yn pallu, † a'r rhai oedd yn casglu teyrnged y wlad yn anaml, o blegid yr anghyttundeb, a'r aflwydd a wnaethai efe yn y wlad wrth dynnu ymaith y cyfreithiau a fuasai er y dyddiau cyntaf;

† *a bod teyrnged y wlad yn fychan.*

30 Yna efe a ofnodd rhag na byddai ganddo ddigon ‡ i atteb unwaith neu ddwywaith y draul, a'r rhoddion a roddasai efe o'r blaen â llaw helaeth: canys efe a fuasai helaethach nâ'r brenhinoedd o'r blaen mewn haelioni.

‡ *yn hŵy i atteb y draul, ac i roddi rhoddion fel y rhoddasai.*

31 Am hynny yr oedd efe mewn cyfyngder meddwl: ond efe a gymmerodd gyngor i fyned i Persia, i gymmeryd teyrnged y gwledydd, ac i gasglu llawer o arian.

32 Am hynny efe a adawodd Lysias, gwr anrhydeddus, ac o genedl y brenhin, ar fatterion y brenhin, o'r afon Euphrates hyd derfynau'r Aipht;

33 Ac i ddwyn Antiochus ei fab ef i fynu hyd oni ddychwelai efe.

34 Ac efe a roddes iddo ef hanner y lluoedd, a'r Elephantiaid, ac a roes orchymynion iddo ef am bob peth a'r a ewyllysiai efe ei wneuthur, ac ynghylch y rhai oedd yn trigo yn Judah ac yn Jerusalem;

35 I ddanfon llu yn eu herbyn hwy, i ddistrywio ac i ddiwreiddio nerth Israel a gweddill Jerusalem, ac i dynnu ymaith eu coffadwriaeth hwy o'r lle hwnnw;

36 Ac i osod dynion dieithr i drigo yn eu holl derfynau hwy, ac i gyfrannu eu gwlad hwy wrth goel-brennau.

37 A'r brenhin a gymmerodd hanner y lluoedd, y rhai a weddillasid, ac a gychwynodd o Antioch, † dinas ei deyrnas ef, y seithfed flwyddyn a deugain a chant; ac efe a aeth dros yr afon Euphrates, ac a dramwyodd trwy'r gwledydd uchaf.

† *ei ddinas frenhinol ef.*

38 A Lysias a ddewisodd Ptolomëus fab Dorymenes, a Nicanor, a Gorgias, gwŷr galluog, o chyfeillion y brenhin:

39 Ac efe a ddanfonodd ddeugain mil o wŷr *traed* gyd â hwy, a seith mil o wŷr meirch, i fyned i wlad Judah, i'w distrywio hi yn ol gorchymyn y brenhin.

40 A hwy a gychwynasant â'u holl lu, ac a ddaethant, ac a wersyllasant yn gyfagos i Emmaus, ar y tir gwastad.

41 Pan glybu marchnadwŷr y wlad son am danynt, hwy a gymmerasant arian, a llawer iawn o aur, a ‡ gweinidogion, ac a ddaethant i'r gwersyll, i brynu meibion Israel yn gaethion: a llu o Syria, ac o wlad y § dieithriaid a ddaeth attynt hwy.

‡ *gefynnau.*
§ *Philistiaid.*

42 Pan welodd Judas a'i frodyr fod drygau yn amlhâu, a gwersyllu o'r lluoedd o fewn eu terfynau hwy; (a hwy a wyddent eiriau'r brenhin, y rhai a orchymynasai efe i wneuthur dinystr a phen am y bobl:)

43 Yna'r naill a ddywedodd wrth y llall, Gosodwn ein pobl drachefn allan o orthrymder, ac ymladdwn dros ein pobl a'r Cyssegr.

44 A'r gynnulleidfa a ymgasglodd i fod yn barod i ryfela, ac i weddïo ac i ofyn trugaredd a thosturi.

45 Canys anghyfannedd oedd Jerusalem [b] fel anialwch. Nid oedd neb o'i phlant hi yn myned i mewn, nac yn dyfod allan: a'r Cyssegr oedd wedi ei sathru, a meibion alldudion yn cadw'r castell; lletty *oedd hi* i'r Cenhedloedd: a'r hyfrydwch a dynnasid ymaith oddi wrth Jacob, a'r bibell a'r delyn a beidiasent.

[b] Pen. 1. 38, 39.

46 A'r *Israëliaid* a ymgasglasant ynghŷd, ac a ddaethant i ‖ Maspha, gyferbyn a Jerusalem. Canys y lle o'r blaen i Israel i weddïo oedd [c] ym Maspha.

‖ *Mizpah.*
[c] Barn. 20. 1. 1 Sam. 7. 5.

47 A hwy a ymprydiasant y diwrnod hwnnw, ac a wisgasant liain sach, ac *a furiasant* ludw ar eu pennau, ac a rwygasant eu dillad,

48 Ac a ledasant lyfrau'r gyfraith, † am y rhai yr oedd y Cenhedloedd yn chwilio, i argraphu lluniau eu delwau ynddynt;

† *yn y rhai y ceisiasai y cenhedloedd beintio lluniau eu heilunod.*

49 Ac a ddygasant ddillad yr Offeiriaid, a'r blaen-ffrwythau, a'r degymmau, ac a gyffroisant [d] y Nazareaid, y rhai a gyflawnasent *eu* dyddiau;

[d] Num. 6. 2.

50 Ac a lefasant â llef *uchel* tu a'r nef, gan ddywedyd, Pa beth a wnawn ni i'r rhai hyn? ac i ba le y dygwn ni hwy ymaith?

51 Dy gyssegr di a fathred, ac a halogwyd, a'th Offeiriaid di sy mewn galar a gostyngiad.

52 Ac wele'r Cenhedloedd a ymgasglasant yn ein herbyn ni i'n distrywio ni: ti a wyddost pa bethau y maent hwy yn eu bwriadu yn ein herbyn.

53 Pa fodd y gallwn ni sefyll yn eu hwyneb hwy, oddi eithr i ti ein cynnorthwyo ni?

54 Yna hwy a ganasant ag udgyrn, ac a waeddasant â llef uchel.

55 Yna Judas a osododd gapteniaid ar y bobl, capteniaid ar fil, ar gant, ar ddeg a deugain, ac ar ddeg.

56 Ac efe a ddywedodd wrth y rhai oedd [e] yn adeiladu teiau, ac a ddyweddiasid â gwragedd, ac oeddynt yn plannu gwinllannoedd, [f] a'r rhai ofnus, am ddychwelyd o bob un i'w dŷ yn ol y gyfraith.

[e] Deut. 20. 5, &c.
[f] Barn. 7. 3.

57 A'r llu a symmudodd, ac a wersyllodd o'r tu dehau i Emmaus.

58 A Judas a ddywedodd, Ymwregyswch, a byddwch wŷr gwrol, a byddwch barod i ymladd y foru â'r Cenhedloedd hyn a ymgasglasant yn ein herbyn ni, i'n distrywio ni a'n Cyssegr.

59 Canys gwell i ni feirw yn y rhyfel nâ gweled drygfyd ein cenedl a'n Cyssegr.

60 Ond fel y byddo ewyllys *Duw* yn y nef, felly gwneled.

## PEN. IV.

6 *Judas yn diddymmu dichell,* 14 *a gallu Gorgias,* 23 *ac yn anrheithio eu pebyll,* 34 *ac yn gorchfygu Lysias:* 45 *ac yn tynnu i lawr yr allor a halogasai'r Cenhedloedd, ac yn adeiladu un newydd,* 60 *ac yn gwneuthur caer o amgylch Sion.*

YNA Gorgias a gymmerodd bùm mil o wŷr *traed*, a mil o wŷr meirch detholedig, ac a osododd allan o'r gwersyll liw nos;

2 Fel y gallai efe ruthro i wersyll yr Iuddewon a'u taro hwy yn ddisymmwth. A milwŷr y castell oedd yn ei gyfarwyddo ef ar y ffordd.

3 Pan glybu Judas, efe a aeth allan ei hun, a'r gwŷr galluog gyd ag ef, i daro llu'r brenhin, yr hwn oedd yn Emmaus,

4 Tra fyddai'r lluoedd etto wedi ymdaenu oddi wrth y gwersyll.

5 A Gorgias a ddaeth i wersyll Judas liw nos, ac ni chafodd efe neb; ond efe a'u ceisiodd hwy yn y mynyddoedd, ac a ddywedodd, Y maent hwy yn ffoi oddi wrthym ni.

6 Ond gyd â'i dyddhâu hi, Judas a ymddangosodd yn y maes, a thair mil o wŷr; ond nid oedd ganddynt hwy † na llurigau na chleddyfau, fel yr ewyllysient.

† *ŵ carfau amdanynt.*

7 Pan welsant hwy wersyll y Cenhedloedd yn gryf, wedi ei wisgo mewn llurigau, a'r gwŷr meirch yn eu hamgylchu hwynt, a'r rhai hynny wedi eu dysgu i ryfela,

8 Yna Judas a ddywedodd wrth y gwŷr oedd gyd ag ef, Nac ofnwch eu lliosowgrwydd hwy, ac nac ofnwch eu rhuthr hwy.

9 Cofiwch fel yr achubwyd ein hynafiaid ni yn y môr coch, pan erlidiodd Pharaoh hwy â llu.

10 Felly yr awrhon, gadewch i ni lefain tu a'r nef, i *edrych* a drugarhao ‡ efe wrthym ni, ac a gofia efe ammod ein hynafiaid, ac a ddryllia efe y gwersyll hwn o flaen ein hwyneb ni heddyw;

‡ *yr Arglwydd.*

11 Fel y gwypo'r holl Genhedloedd fod un yn gwared ac yn achub Israel.

12 Yna y dïeithriaid a godasant eu golwg i fynu, ac a'u canfuant hwy yn dyfod ar eu cyfer hwynt;

13 Ac a ddaethant allan o'r gwersyll i ryfela: a'r rhai oedd gyd â Judas a ganasant udgyrn.

14 A hwy a darawsant ynghŷd, a'r Cenhedloedd a orchfygwyd, ac a ffoisant i'r maes gwastad.

15 A'r holl rai olaf a laddwyd â'r cleddyf: a hwy a'u herlidiasant hwy hyd Gazera, a hyd at feusydd Idumea, ac Azotus, a Jamnia: ac ynghylch teir mil o wŷr o honynt hwy a laddwyd.

16 A Judas a'r llu a ddychwelodd o'u herlid hwy.

17 Ac efe a ddywedodd wrth y bobl, Na fyddwch awyddus i'r yspail, o blegid y mae rhyfel † yn ein herbyn ni;

† *o'n blaen ni.*

18 O blegid y mae Gorgias a'i lu yn y mynydd yn agos attom ni: ond sefwch yn awr yn erbyn ein gelynion, a gorchfygwch hwy, ac wedi hynny cymmerwch yr yspail yn ddïofn.

19 Pan oedd Judas etto yn dywedyd hyn, rhân *o honynt hwy* a welid yn edrych allan o'r mynydd.

20 Pan welsant yrru o'r Iuddewon eu llu hwynt i ffoi, a'u bod yn llosgi'r gwersyll; (canys y mwg, yr hwn a welid, a ddangosodd yr hyn a wnaethid:)

21 Pan welsant y pethau hyn, hwy a ofnasant yn ddirfawr: a phan welsant hwy lu Judas yn y maes yn barod i ymladd,

22 Hwy a ffoisant oll i wlad y dïeithriaid.

23 A Judas a ddychwelodd i gymmeryd yspail y gwersyll: a hwy a gawsant lawer o aur, ac arian, a dillad, a sidan glas, a phorphor y môr, a chyfoeth mawr.

24 Felly hwy a aethant adref, ac a ganasant gân dïolch, ac a fendithiasant Dduw nef, [a] am ei fod ef yn ddaionus, a'i drugaredd yn dragywydd.

[a] Psal. 136. 1.

25 Ac felly Israel a gafodd ymwared mawr y diwrnod hwnnw.

26 A'r Cenhedloedd oll a'r a ddïangasent, a ddaethant, ac a ddywedasant i Lysias bob peth a ddigwyddasai.

27 A Lysias oedd yn gywilydd ganddo, ac a ddigalonnodd, am na ddigwyddasai 'r cyfryw bethau i Israel ag a fynnasai efe, ac am na wnaethid y cyfryw bethau ag a orchymynasai 'r brenhin.

165 28 A'r flwyddyn nesaf ar ol hyn, Lysias a gasglodd dri ugain mil o wŷr traed detholedig, a phûm mil o wŷr meirch, i'w gorchfygu hwynt.

29 A hwy a ddaethant i Idumea, ac a wersyllasant yn Bethsura, lle y daeth Judas yn eu herbyn hwy â deng mil o wŷr.

30 A phan welodd efe y llu mawr-gryf, efe a wnaeth ei weddi, ac a ddywedodd, Bendigedig wyt ti O Achubwr Israel, [b] yr hwn a ‡ gystwyaist ruthr y cadarn trwy law Dafydd dy was, ac a roddaist wersyll y § dïeithriaid yn llaw [c] Jonathan fab Saul, ac arweinydd ei arfau ef.

[b] 1 Sam. 17. 50, 51.
‡ *gerydd-aist.*
§ *Philisti-aid.*
[c] 1 Sam. 14. 13, 14.

31 Cau y llu hwn yn llaw dy bobl Israel; a chywilyddier hwy yn eu llïosowgrwydd a'u gwŷr meirch.

32 Gwna iddynt hwy ofni, a thawdd ymaith hyfder eu cadernid hwynt, a chrynant wrth eu dinystr.

33 Tafl hwy i lawr â chleddyf y rhai sy'n dy garu di; a'r sawl oll a adwaenant dy enw, clodforant di â hymnau.

34 Yna hwy a darawsant ynghŷd: ac fe a laddwyd ynghylch pûm mil o wŷr o lu Lysias; ger eu bron hwy y lladdwyd hwynt.

35 Pan welodd Lysias yrru ei lu ef i ffoi, a gwrolaeth y rhai oedd gyd â Judas, fel yr oeddynt hwy'n barod, pa un bynnag, ai i fyw, ai i farw fel gwŷr, efe a aeth i Antiochia, ac a gasglodd ryfelwŷr dïeithr; ac wedi gwneuthur ei lu yn fwy nag y buasai, a feddyliodd ddyfod drachefn i Judea.

36 Yna y dywedodd Judas a'i frodyr, Wele, gorchfygwyd ein gelynion, awn i fynu i lanhâu ac i adnewyddu 'r Cyssegr.

37 Wrth hyn yr holl lû a ymgasglodd, a hwy a aethant i fynu i fynydd Sïon.

38 A phan welsant hwy y Cyssegr wedi ei anrheithio, yr allor wedi ei halogi, y dorau wedi eu llosgi, a'r mân-wŷdd yn tyfu yn y neuaddau fel mewn coed neu ar un o'r mynyddoedd, ac ystafelloedd yr Offeiriaid wedi eu tynnu i lawr;

39 Hwy a rwygasant eu dillad, ac a alarasant â galar mawr, ac a fwriasant ludw ar eu pennau;

40 Ac a syrthiasant i lawr ar eu hwynebau, ac a wnaethant swn mawr ag udgyrn, ac a waeddasant tu a'r nef.

41 Yna Judas a osododd wŷr i ymladd yn erbyn [d] y rhai oedd yn y castell, hyd oni ddarfyddai iddo ef lanhâu 'r Cyssegr.

[d] Pen. 1. 34.

42 Ac efe a ddewisodd Offeiriaid dïargyoedd, y rhai oedd ewyllysgar i'r gyfraith:

43 A hwy a lanhasant y Cyssegr, ac a ddygasant allan y cerrig halogedig i le aflan.

44 A chan fod allor y poeth-offrymmau wedi ei halogi, hwy a ymgynghorasant beth a wnaent iddi hi.

45 Felly hwy a feddyliasant mai goreu oedd ei thynnu hi i lawr, rhag iddi hi fod yn gywilydd iddynt hwy, canys y Cenhedloedd a'i halogasant hi. Am hynny hwy a dynnasant yr allor i lawr,

46 Ac a osodasant y cerrig ar fynydd y ‖ tŷ mewn lle cyfaddas, [e] hyd oni ddelai prophwyd i fynegi pa beth a wneid â hwynt.

‖ *deml.*
[e] Pen. 9. 27. a 14. 41.

47 A hwy a gymmerasant gerrig cyfan [f] yn ol y gyfraith, ac a adeiladasant allor newydd, yn ol dull y gyntaf;

[f] Exod. 20. 25. Deut. 27. 5. Jos. 8. 31.

48 Ac a wnaethant y Cyssegr i fynu, a'r pethau o fewn y † tŷ, ac a sancteiddiasant y cynteddau;

† *deml.*

49 Ac a wnaethant lestri sanctaidd newydd; ac a ddygasant y canhwyllbren, ac allor y poeth-offrymmau a'r arogl-aberthau, a'r bwrdd, i mewn i'r Deml.

50 A hwy a losgasant aroglau ar yr allor, ac a oleuasant y canhwyllau oedd yn y canhwyllbren, i oleuo yn y Deml.

51 A hwy a osodasant y bara ar y bwrdd, ac a ledasant y llenni, ac a orphennasant yr holl waith a ddechreuasant ei wneuthur.

52 Ac ar y pummed dydd ar hugain o'r nawfed mis (yr hwn a elwir mis Cisleu) yn yr wythfed flwyddyn a deugain a chant, hwy a godasant yn fore i fynu.

53 Ac a aberthasant yn ol y gyfraith, ar allor newydd y poeth-offrymmau, yr hon a wnaethant hwy.

54 Ar gyfenw i'r amser a'r diwrnod yr halogasai'r Cenhedloedd hi, yn unlawn, y gosodet hi i fynu o newydd, â chaniadau, a thelynau, â phibau, ac â symbalau.

55 A'r holl bobl a syrthiasant ar eu hwynebau, gan addoli a diolch i *Dduw* y nef, yr hwn a'u llwyddasai hwy.

56 Ac felly hwy a gadwasant gyssegriad yr allor wyth niwrnod, gan offrymmu poeth-offrymmau ac aberthu aberth-
† *hedd.* au † iachawdwriaeth a moliant mewn llawenydd.

57 A hwy a harddasant dalcen y Deml â
* *cysse-grasant.* choronau o aur ac â thariannau, ac a ‡ adnewyddasant y pyrth a'r ystafelloedd, ac a osodasant ddrysau arnynt hwy.

58 Ac yr oedd llawenydd mawr ym mhlith y bobl, am droi gwaradwydd y Cenhedloedd ymaith.

59 Felly Judas a'i frodyr, a holl gynnulleidfa Israel a ordeiniodd gadw dyddiau cyssegriad yr allor yn eu hamserau, yn uchel-wyl bob blwyddyn dros wyth niwrnod, gan ddechreu y pummed dydd ar hugain o'r mis Cisleu, trwy orfoledd a llawenydd.

60 Ac ar yr un amser, hwy a adeiladasant fynydd Sïon i fynu â chaerau uchel, ac â thyrau cedyrn oddi amgylch, rhag dyfod o'r
* *Pen. 1. 31.* Cenhedloedd a'i sathru ef i lawr, § fel y gwnaethent o'r blaen.

61 A hwy a osodasant ynddo gryfdwr i'w gadw ef, ac a gadarnhasant Bethsura i'w gadw ef, fel y cai'r bobl amddiffynfa yn erbyn Idumea.

PEN. V.

3 *Judas yn taro meibion Dan, Bean, ac Ammon.* 17 *Danfon Simon i Galilea.* 25 *Gwroliaeth Judas yn Galaad.* 51 *Y mae ef yn distrywio Ephron, am naccâu iddo gael myned trwyddi.* 56 *Lladd llawer a fynnai ymladd â'u gelynion yn absen Judas.*

164. DIGWYDDODD hefyd pan glybu'r Cenhedloedd oddi amgylch ddarfod adeiladu'r allor, ac adnewyddu'r Cyssegr, fel y buasent o'r blaen, yna digio yn ddirfawr a wnaethant.

2 Am hynny hwy a ymgynghorasant i ddistrywio cenedl Jacob, yr hon oedd yn eu plith hwy, ac a ddechreuasant ladd ac erlid y bob..

3 Yna Judas a ymladdodd yn erbyn plant
† *Acrabattine, neu, Aracattine, neu, Arabatta.* Esau yn Idumea, yn † Arabatthane, am eu bod yn gwarchae ar Israel: ac efe a'u tarawodd â phla mawr, ac a'u darostyngodd, ac a ddug eu hyspail hwynt.

4 Efe a gofiodd hefyd falais ac anffyddlondeb plant ‡ Bean, fel yr oeddynt hwy'n rhwyd, ac yn rhwystr i'r bobl, ac yn eu
‡ *Hacan, Gen. 36. 27. Num. 33. 31, 32.* cynllwyn hwy yn y ffyrdd.

5 Am hynny efe a'u cauodd hwy mewn tyrau, ac a wersyllodd yn eu herbyn, ac a'u distrywiodd hwy yn llwyr, ac a los-
§ *phob peth.* godd eu tyrau hwy, a § phawb a'r oedd ynddynt.

6 Wedi hynny efe a aeth trosodd at blant Ammon, ac a gafodd yno lu cadarn, a llawer o bobl, gyd â Thimotheus eu capten hwynt:

7 Ac efe a ymladdodd â hwynt [illegible] llawer o ryfeloedd, a hwy a d[illegible] flaen ef; ac efe a'u ta[illegible]

8 Ac wedi iddo [illegible] oedd yn pe[illegible] idd[illegible] lodd i Judea.

9 Yna y Cenhedloedd y[illegible] a ymgasglasant yn erbyn yr Isra[illegible], y rhai oedd o fewn eu terfynau hwy, i'w lladd hwy. Ond hwy a ffoisant i gastell Dathema,

10 Ac a anfonasant lythyrau at Judas a'i frodyr, gan ddywedyd, Y cenhedloedd, y rhai sy o'n hamgylch ni, a ymgasglasant yn ein herbyn ni, i'n distrywio ni.

11 Ac yr awrhon y maent hwy yn ymbarottôi i ddyfod, ac i amgylchu'r castell, lle y ffoisom ni: a Thimotheus ydyw capten eu llu hwy.

12 Tyred yn awr gan hynny, a gwared ni allan o'u dwylaw hwy: canys llawer o honom ni a laddwyd eusus.

13 A'n holl frodyr, y rhai oedd yn lleoedd Tobie, a laddwyd: eu gwragedd hefyd a'u plant a ddygasant hwy ymaith yn gaethion, a'u dâ a ddygasant, ac a laddasant yno ynghylch mil o wŷr.

14 Pan oedd y llythyrau hyn etto yn eu darllen, wele, cenhadon eraill a ddaeth o Galilea, wedi rhwygo eu dillad, y rhai a fynegasant yn ol y geiriau hyn,

15 Ac a ddywedasant, Ymgasglodd y rhai sy o Ptolemais, a Thyrus, a Sidon, a holl Galilea y Cenhedloedd, yn ein herbyn ni, i'n distrywio ni.

16 Pan glybu Judas a'r bobl hyn yma, cynnulleidfa fawr a ymgasglodd i ymgynghori pa beth a wnaent hwy i'w brodyr oedd mewn gorthrymder, ac â rhyfel yn eu herbyn.

17 A Judas a ddywedodd wrth Simon ei frawd, Dewis allan wŷr, a dos i achub dy frodyr yn Galilea, a myfi a'm brawd Jonathan a awn i wlad Galaad.

18 Ac efe a adawodd Joseph fab Zacharias, ac Azarias, yn gapteniaid ar y bobl, a gweddill y llu yn Judea, i'w chadw hi.

19 Ac efe a orchymynodd iddynt hwy, gan ddywedyd, Llywodraethwch y bobl yma, a 'mogelwch osod rhyfel yn erbyn y Cenhedloedd, hyd oni ddychwelom ni.

20 Ac fe roddwyd teirmil o wŷr Simon, i fyned i Galilea; ac wyth mil o wŷr Judas, yn erbyn gwlad Galaad.

21 Yna Simon a aeth i Galilea, ac a darawodd ar y Cenhedloedd, mewn llawer o ryfeloedd, ac a'u gorchfygodd hwy.

22 Ac efe a'u canlynodd hwy hyd byrth Ptolemais: ac ynghylch teirmil o wŷr o'r Cenhedloedd a laddwyd; ac efe a gymmerodd eu hyspail hwy;

23 Ac a ddygodd yr Israeliaid ymaith, y rhai oedd yn garcharorion yn Galilea, ac yn Arbattis, a'u gwragedd, a'u plant, a chymmaint ag a feddent, ac a'u dygodd hwy i Judea, â llawenydd mawr.

24 A Judas Maccabëus, a'i frawd Jonathan, a aethant dros yr Iorddonen, ac a aethant daith tridiau yn yr anialwch;

25 Lle y cyfarfuant hwy â'r Nabathiaid, a hwy a ddaethant attynt yn heddychol, ac a fynegasant iddynt hwy bob peth a ddigwyddasai i'w brodyr hwy yngwlâd Galaad;

26 Ac fel y cauasid llawer o honynt hwy yn † Bosora, Bosor, Alima, ‡ Chascor, Maceda, a Charnaim: (dinasoedd cryfion a mawrion ydyw y rhai hyn oll:)

† *Bosorra.* ‡ *Casphor,* neu, *Casphon,* Adn. 36.

27 A'u bod wedi cau arnynt yn y llaill o ddinasoedd gwlad Galaad, § a'u bod hwy wedi bwriadu dwyn eu llu yn erbyn yr amddiffynfaoedd i'w dàl hwy, ac i'w difetha oll yn yr un dydd.

§ *a bod y cenhedloedd.*

28 Ac ar hyn Judas a'i lu a drodd ar frys, ar hŷd ffordd yr anialwch tu a ‖ Bosor, ac a ynnillodd y ddinas, ac a laddodd yr holl rai gwrrywiaid â'r cleddyf, ac a gymmerodd eu holl yspail hwy, ac a losgodd y ddinas â thân.

‖ *Bosorra.*

29 Ac efe a symmudodd oddi yno liw nos, ac a ddaeth tu a'r castell.

30 A phan oedd hi yn fore ddydd, hwy a godasant eu golwg i fynu, ac wele lu anifeiriol o bobl yn dwyn ysgolion, ac offer-rhyfel i fynu i ynnill y castell: † ac yr oeddynt wedi gosod arnynt hwy.

† *a'r cenhedloedd a osodasant ar yr Iuddewon.*

31 Pan welodd Judas ddechreu o'r rhyfel, a bod gwaedd y ddinas yn dyrchafu tu a'r nef gan udgyrn a llef uchel,

32 Efe a ddywedodd wrth ei lu, Ymleddwch heddyw dros eich brodyr.

33 Ac efe a ddaeth o'r tu ol iddynt, mewn tair byddin, a hwy a ganasant yr udgyrn, ac a lefasant ynghŷd â gweddi.

34 Pan wybu gwersyll Timotheus mai Maccabëus oedd yno, hwy a ffoisant rhagddo ef. Ond efe a'u tarawodd hwy â lladfa fawr, ac ynghylch wyth mil o wŷr a laddwyd o honynt hwy y diwrnod hwnnw.

35 Yna Judas a drodd tu a Maspha, ac a osododd arni, ac a'i hynnillodd hi, ac a laddodd bob gwrryw ynddi, ac a gymmerodd ei hyspail hi, ac a'i llosgodd hi â thân.

36 Efe a aeth oddi yno ac a ynnillodd * Casphon, Maged, Bosor, a'r dinasoedd eraill yn Galaad.

* Edrych Adn. 26.

37 Wedi hyn Timotheus a gasglodd lu arall, ac a wersyllodd o flaen Raphon, o'r tu draw i'r afon.

38 A Judas a anfonodd i 'spïo 'r gwersyll, a hwy a ddygasant air iddo, gan ddywedyd, Y mae 'r holl genhedloedd sy o'n hamgylch ni wedi ymgasglu atto ef, yn llu lliosog iawn.

39 Ac efe a gyflogodd yr Arabiaid i'w cymmorth hwy; a hwy a wersyllasant o'r tu draw i'r afon, ac y maent yn barod i ddyfod, *ac* i ymladd â thi. A Judas a aeth i gyfarfod â hwynt.

40 A Thimotheus a ddywedodd wrth gapteniaid ei lu, Pan ddelo Judas a'i lu yn agos at yr afon, os daw efe trosodd yn gyntaf attom ni, ni allwn ni ei wrthwynebu ef, o blegid efe a fydd trech nâ nyni o lawer.

41 Ond os arswyda efe ddyfod trosodd, a gwersyllu o'r tu draw i'r afon, nyni a awn trosodd atto ef, ac nyni a fyddwn gryfach nag ef.

42 Ond pan nesaodd Judas at yr afon, efe a osododd ysgrifenyddion y bobl ynglân yr afon, ac a orchymynodd iddynt hwy, gan ddywedyd, Na adewch i un dŷn aros yn y gwersyll, ond deued pawb i'r rhyfel.

43 Ac efe a aeth trosodd yn gyntaf attynt hwy, a'i holl bobl ar ei ol: a'r holl genhedloedd a orchfygwyd ger ei fron ef, a hwy a daflasant eu harfau ymaith, ac a ffoisant i'r deml oedd yn Carnaim.

44 A Judas a ynnillodd y ddinas, ac a losgodd y deml a phawb a'r oedd ynddi hi. Felly y gorchfygwyd Carnaim, ac ni allodd hi wrthwynebu Judas.

45 A Judas a gasglodd yr holl Israeliaid oedd yngwlâd Galaad, o'r lleiaf hyd y mwyaf, a'u gwragedd hwy, a'u plant, a'u mûd, llu mawr iawn, i ddyfod i wlad Judea.

46 A hwy a ddaethant i Ephron; (yr hon oedd ddinas fawr gadarn iawn, ar y ffordd yr elent hwy;) nid oedd fodd iddynt hwy fyned heb ei llaw hi, nac ar y llaw ddehau, nac ar y llaw aswy, ond myned trwy ei chanol hi oedd raid iddynt.

47 Yna gwŷr y ddinas a'u cauasant hwynt allan, ac a gauasant y pyrth â cherrig.

48 A Judas a ddanfonodd attynt hwy â geiriau heddychol, gan ddywedyd, Gadewch i ni fyned trwy eich gwlad chwi, fel y gallom fyned i'n gwlad ein hun, ac ni chaiff neb wneuthur i chwi ddrwg; nid awn ni drwodd ond ar draed. Ond ni fynnent hwy agoryd iddo ef.

49 Am hynny Judas a orchymynodd gyhoeddi trwy 'r llu, ar i bob un wersyllu yn y fàn yr ydoedd efe.

50 Ac felly gwŷr y llu a wersyllasant, ac a ryfelasant yn erbyn y ddinas yr holl ddiwrnod hwnnw, a'r holl noson honno, a'r ddinas a roddwyd yn ei law ef.

51 Ac efe a laddodd yr holl rai gwrrywiaid â min y cleddyf, ac a ddïwreiddiodd y ddinas, ac a gymmerodd ei hyspail hi, ac a dramwyodd trwy 'r ddinas, ar draws y rhai a laddasid.

52 Yna hwy a aethant dros yr Iorddonen, i'r gwastadedd mawr sydd o flaen Bethsan.

53 A Judas oedd yn casglu ynghŷd y rhai ‡ olaf, ac yn § cynghori 'r bobl ar hŷd yr holl ffordd, hyd oni ddaeth efe i wlad Judea,

‡ *oedd yn dyfod yn ol,* Num. 10. 25.

54 A hwy a aethant i fynu i fynydd Sïon mewn gorfoledd a llawenydd, ac a offrymmasant ‖ boeth-offrymmau, am na laddasid neb o honynt hwy, oni ddychwelasant mewn heddwch.

§ *cysuro* neu, *diddanu,* neu, *annog* ‖ *offrymmau hedd.* Jos. Antiq. l. 12. c. 12.

55 Ac yn y dyddiau hynny, 'y rhai yr oedd Judas a Jonathan yngwlâd Galaad, a Simon eu brawd hwy yngwlâd Galilea, o flaen Ptolemais,

56 Yna Joseph mab Zacharïas, ac Azarïas, capteniaid y llu, a glywsant y gweithredoedd ardderchawg, a'r rhyfeloedd a wnaethant hwy.

57 A hwythau a ddywedasant, Gadewch i ninnau hefyd ynnill enw i ni, a myned i ymladd yn erbyn y Cenhedloedd sy o'n hamgylch.

58 A hwy a roddasant orchymyn i'r rhai oedd yn y llu oedd gyd â hwynt, ac a aethant tu a Jamnïa.

59 Yna Gorgias a'i wŷr a ddaeth allan o'r ddinas i † ymladd yn eu herbyn hwy.

† *gyfarfod â hwynt mewn rhyfel.*

60 Ond Joseph ac Azarïas a yrrwyd i ffoi, ac a ymlidiwyd hyd derfynau Judea: a dwy fil o wŷr o bobl Israel a laddwyd y diwrnod hwnnw.

61 Fel hyn y bu colled fawr ym mhlith pobl Israel, am na wrandawsent hwy ar Judas a'i frodyr, eithr meddwl gwneuthur rhyw wrolaeth.

62 Hefyd nid oeddynt hwy o had y gwŷr

hynny y rhoddasid ar eu dwylaw achub
Israel.
63 Ond y gwr Judas a'i frodyr a ogone-
ddid yn fawr ger bron holl Israel a'r holl
genhedloedd, pa le bynnag y clywid eu
henw hwy.
64 A'r bobl a ymgasglai attynt hwy i gy-
farch gwell iddynt.
65 Wedi hynny Judas a'i frodyr a aethant
allan, ac a ryfelasant yn y wlad sy'n gor-
wedd tu a'r dehau, yn erbyn meibion Esau,
ac yno efe a oresgynnodd Hebron a'i phen-
trefydd, ac a dynnodd i lawr ei chastell hi,
† *threfi.* a'i † thyrau hi a losgodd efe oddi am-
gylch.
66 Yna efe a ymadawodd i fyned i wlad
‡ *Philist-iaid.* y ‡ dïeithriaid, ac a aeth trwy Samaria.
67 Ar yr un amser y lladdwyd *rhai o* Of-
feiriaid y dinasoedd, y rhai oedd yn ewy-
llysio gwneuthur gwrolaeth, am fyned o ho-
nynt i ymladd heb gyngor.
68 A phan ddaeth Judas i Azotus yngwlad
§ *Philist-iaid.* y § dïeithriaid, efe a ddistrywiodd eu hallo-
rau hwy, ac a losgodd eu delwau cerfiedig
hwy, ac a gymmerodd yspail y dinasoedd, ac
a ddychwelodd i wlad Judea.

PEN. VI.

8 *Antiochus yn marw: 12 ac yn cyfaddef
mai am y càm a wnaethai efe â Jerusa-
lem y poenir ef. 20 Judas yn gwarchae
ar y rhai oedd yn y tŵr yn Jerusalem.
28 Hwythau yn cael gan Antiochus ieuang-
af ddyfod i Judea. 51 Yntau yn gwarchae
ar Sion, 60 ac yn heddychu ag Israel:
62 ac er hynny yn bwrw i lawr gaerau
Sion.*

AC Antiochus y brenhin a dramwyodd
trwy'r gwledydd uchaf, ac a glybu fod
Elymais o fewn Persia yn ddinas enwog
iawn am olud, am arian ac aur;
2 A bod teml gyfoethog iawn ynddi
hi, a gwisgoedd o aur, a llurigau, a
tharianau, y rhai a adawsai Alexander
mab Phylip brenhin Macedonia yno, yr
hwn a deyrnasasai yn gyntaf ym mysg y
Groegwŷr.
3 Am hynny efe a ddaeth, ac a geisiodd
ynnill y ddinas, a'i hyspeilio hi; ond ni allai
efe, o blegid cael o'r dinasyddion wybod y
peth.
4 A hwy a godasant yn ei erbyn ef i ry-
fel; ac efe a ffodd, ac a ymadawodd oddi
yno mewn tristwch mawr, ac a ddychwe-
lodd i Babilon.
5 Hefyd rhyw un a ddaeth, ac a fynegodd
iddo ef yn Persia, ymlid ymaith y lluoedd
a aethai i wlad Judea;
6 Ac fel yr aethai Lysias â llu cadarn yn
gyntaf, ac yr ymlidiesid ef o'u blaen hwynt;
ac fel yr aethent hwy yn gryfach o ran arfau
a llu, ac yspail lawer, y rhai a ddygasent
hwy oddi ar y lluoedd a dorrasent hwy
ymaith;
a Pen. 1. 54. 7 Ac fel y tynnasent hwy i lawr [a] y ffieidd-
beth a osodasai efe ar yr allor yn Jerusalem,
ac yr amgylchasent hwy'r Cyssegr â chae-
rau uchel, fel y buasai efe o'r blaen, a Beth-
sura ei ddinas ef hefyd.
8 Pan glybu'r brenhin y geiriau hyn,
fe synnodd arno, ac a gythruddodd yn
ddirfawr. Am hynny efe a orweddodd
ar ei wely, ac a syrthiodd mewn clefyd
oddi wrth y tristwch hwnnw, a'r cwbl am
na ddigwyddasai iddo ef fel yr oedd efe yn
disgwyl.

9 Ac efe a arhôdd yno lawer o ddydd-
iau; canys ei dristwch ef oedd fwyfwy; ac
efe a wnaeth gyfrif y byddai efe farw.
10 Am hynny efe a ddanfonodd am ei
holl garedigion, ac a ddywedodd wrth-
ynt hwy, Mae'r cysgu wedi ymadael â'm
llygaid, ac fe lesgaodd fy nghalon o wir
ofal:
11 A mi a ddywedais yn fy nghalon, I
ba drallod y daethum, ac ym mha afonydd
o drymder yr ydwyf yr awrhon, lle'r
oeddwn i o'r blaen yn hael ac yn gariadus
yn fy awdurdod!
12 Ac yr awrhon yr ydwyf fi yn cofio'r
drwg a wnaethum i yn Jerusalem, fel [b] y b Pen. 1.
dygais i ymaith yr holl lestri aur ac arian 21, &c.
oedd ynddi hi, ac fel [c] y danfonais i ddis- c Pen. 1. 57
trywio trigolion Judea yn ddïachos.
13 Myfi a wn mai am hynny y daeth
y drygau hyn arnaf; ac wele, darfu am
danaf fi trwy alaeth mawr mewn gwlad ddï-
eithr.
14 Yna efe a alwodd am Phylip, un o'i
garedigion, ac a'i gosododd ef yn llywo-
draethwr ar ei holl deyrnas,
15 Ac a roddes iddo ef ei goron, a'i fan-
tell, a'i fodrwy, fel y † gallai efe gymmeryd † *dygai ef*
Antiochus ei fab ef atto, a'i ddwyn ef i fynu *Antiochus*
i deyrnasu. *ei fab ef i*
16 Ac Antiochus y brenhin a fu farw *fynu, ac a*
yno, yn y nawfed flwyddyn a deugain a *meithrin-*
chant. *ai ef.*
17 Pan wybu Lysias farw o'r brenhin,
efe a osododd i deyrnasu yn ei le ef An-
tiochus ei fab ef, yr hwn a ddygasai efe i
fynu yn ieuangc, ac a'i galwodd ef Eupa-
tor.
18 A'r rhai oedd yn y castell *yn Jeru-
salem* a gadwasant yr Israeliaid i mewn
o amgylch y Cyssegr, ac a geisiasant eu
drygu hwy yn wastadol, a chadarnhâu'r
Cenhedloedd.
19 Am hynny y bwriadodd Judas eu dis-
trywio hwy; ac efe a gasglodd yr holl bobl
ynghŷd i'w hamgylchynu hwy.
20 Felly hwy a ddaethant ynghŷd, ac a'u 163.
hamgylchynasant hwy yn y ddegfed flwy-
ddyn a deugain a chant: ac efe a wnaeth
leoedd i'r taflwŷr i saethu, a rhyfel-offer
eraill.
21 Er hynny rhai o'r rhai yr oeddid
yn eu hamgylchu a aethant allan, a rhai
o wŷr annuwiol Israel a lynasant wrthynt
hwy,
22 Ac a aethant at y brenhin, ac a ddy-
wedasant, Pa hŷd y byddi di heb wneu-
thur cospedigaeth a dïaledd ar ein brodyr
ni?
23 Yr oeddym ni yn foddlon i wasanaethu
dy dad di, i rodio fel y dywedai efe, ac i
ufuddhâu i'w orchymynion ef.
24 Am hynny ein pobl a ymddïeithrasant
oddi wrthym ni, a [d] pha le bynnag y caw- d Pen. 5. 2,
sant hwy neb o honom ni, hwy a'u lladda- 45, 51.
sant; a hwy a yspeiliasant ein hetifeddiaeth
ni.
25 Ac nid estynnasant hwy eu dwylaw yn
unig yn ein herbyn ni, ond yn erbyn ‡ ein ‡ *eu.*
holl gyffiniau.
26 Ac wele, y maent hwy wedi gwer-
syllu heddyw yn erbyn y castell sydd yn
Jerusalem i'w oresgyn ef; a hwy a gadarn-
hasant y Cyssegr, a [e] Bethsura. e Pen. 4. 61.
27 Ac oddi eithr i ti achub eu blaen hwy
yn fuan, hwy a wnânt bethau mwy na'r
rhain, fel na's gellych di eu rheoli hwy.

28 Pan glybu 'r brenhin hynny efe a ddigiodd, ac a gasglodd ei holl garedigion ynghŷd, capteniaid ei lu, a'r rhai oedd ar ei wŷr meirch ef.

29 Yna y daeth atto ef oddi wrth frenhinoedd eraill, ac o ynysoedd y môr, lu ar gyflog.

30 A rhifedi ei lu ef oedd gan-mil o wŷr traed, ac ugein-mil o wŷr meirch, a deuddeg ar hugain o elephantiaid wedi eu dysgu i ryfela.

31 Y rhai hyn a ddaethant trwy Idumea, ac a wersyllasant yn erbyn Bethsura, ac a ryfelasant tros lawer o ddyddiau, ac a osodasant allan lawer o ryfel-offer yn ei herbyn hi: ond † *yr Iuddewon* a ddaethant allan, ac a losgasant y rhei'ny â thân, ac a ymladdasant fel gwŷr.

32 Yna Judas a ymadawodd oddi wrth y castell, ac a wersyllodd yn Bathzacharias, gyferbyn a gwersyll y brenhin.

33 A'r brenhin a gyfododd yn fore iawn, ac a ddygodd y llu ar ruthr tu a Bathzacharias, ac a ‡ ymraunodd i ryfela, ac a ganodd udgyrn.

34 A hwy a ddangosasant § sugn grawnwin a morwŷdd, i'r elephantiaid, i'w hannog hwy i ymladd:

35 Ac a rannasant yr anifeiliaid ym mysg y byddinoedd, ac a ordeiniasant fil o wŷr wedi eu gwisgo mewn llurigau o fodrwyau, ac â helmau o brês am eu pennau, i bob elephant; a phùm cant o wŷr meirch etholedig a ordeiniwyd hefyd i bob ‖ elephant.

36 Y rhai hyn oedd barod bob amser; lle byddai yr anifail y byddent, gan fyned i ba le bynnag yr elai efe; ac ni ymadawent hwy oddi wrtho ef.

37 A phob † elephant a orchuddiasid â thŵr cadarn o goed, wedi ei sicrhau arno ef ‡ ag offer: ac ar bob un yr oedd deuddeg ar hugain o wŷr i ymladd oddi arno ef: a gwr o India *i'w lywodraethu* 'r anifail.

38 A hwy a osodasant weddill y gwŷr meirch o'r tu yma, ac o'r tu accw, wrth ddwy ran y llu, § gan roddi arwyddion iddynt beth a wnaent, ac wedi eu holl arfogi ym mysg y byddinoedd.

39 A phan dywynnai yr haul ar y tarianau aur a phres, y mynyddoedd a ddisgleiriai oddi wrthynt hwy, ac yr oeddynt yn llewyrchu fel lampau tân.

40 A rhan o lu y brenhin oedd wedi ymdaenu ar y mynyddoedd uchel, a rhan ar y lleoedd isel; ac felly hwy a aethant yn ddiogel ac mewn trefn.

41 A synnu a wnaeth ar bawb a'r a glybu swn eu lliaws hwy, a cherddediad y llu, a thrwst yr arfau yn taro ynghŷd; canys yr oedd y llu yn fawr anianol ac yn gryf.

42 Judas hefyd a'i lu a nesaodd i'r rhyfel, ac fe laddwyd chwe chant o wŷr o lu y brenhin.

43 ¶ Pan welodd f Eleazar *a'i gyfenw* Safaran, un o'r elephantiaid wedi ei wisgo ag arfau brenhinol, ac yn uwch nâ 'r anifeiliaid eraill, efe a feddyliodd fod y brenhin ar hwnnw,

44 Ac a ymroes i achub ei bobl, ac i ennill iddo ei hun enw tragywyddol;

45 Ac a redodd yn galonnog at yr elephant hwnnw, trwy ganol y fyddin, ac a'u lladdodd hwy ar y llaw ddehau, ac ar y llaw aswy, ‖ oni ymwahanasant hwy oddi wrtho ef o bob tu.

46 Ac efe a aeth dan yr elephant, ac a'i brathodd oddi tano, ac a'i lladdodd ef: yna 'r elephant a syrthiodd i lawr arno ef, ac efe a fu farw yno.

47 Ond pan welodd *yr Iuddewon eraill* gryfdwr y brenhin, a nerth y lluoedd, hwy a giliasant oddi wrthynt hwy.

48 ¶ A'r rhai oedd o lu y brenhin a aethant i fynu i gyfarfod â hwynt i Jerusalem; a'r brenhin a wersyllodd † yn erbyn Judea, ac yn erbyn mynydd Sïon.

49 Hefyd y brenhin a wnaeth heddwch rhyngddo â'r rhai oedd yn Bethsura, ‡ a hwy a ddaethant allan o'r ddinas, am nad oedd ganddynt ymborth yno, i aros y gwarchae, o blegid ei bod hi yn Sabboth i'r tir.

50 Felly y brenhin a gymmerodd Bethsura, ac a osododd wŷr i'w chadw hi.

51 Ac efe a osododd ryfel yn erbyn y Cyssegr dros lawer o ddyddiau, ac a § osododd yno dafl-arfau a rhyfel-offer, bwâau, a gwaith i saethu tân, a gwaith i saethu cerrig, ac ysgorpionau i saethu saethau a thaflau.

52 Yr Iuddewon hefyd a wnaethant ryfel-offer yn erbyn yr eiddynt hwythau, ac a ymladdasant â hwynt dros hir amser.

53 Ond nid oedd mo 'r bwyd yn eu llestri; (o blegid y seithfed flwyddyn oedd hi, a'r rhai yn Judea, a'r a achubasid o blith y Cenhedloedd, a fwyttasent eu holl 'stôr hwy;)

54 Ac ni adawsid ond ychydig wŷr yn y Cyssegr, o blegid newŷn a'u gorchfygasai hwy, oni thynnasent hwy ymaith bob un i'w le ei hun.

55 Pan glybu Lysias fod Phylip (yr hwn a osodasai Antiochus y brenhin pan oedd efe etto yn fyw, i ddwyn Antiochus ei fab i fynu i deyrnasu.)

56 Wedi dyfod drachefn o Persia, a Media, â llu 'r brenhin, yr hwn a aethai gyd ag ef, a'i fod efe yn ceisio cymmeryd matterion y frenhiniaeth ar ei law:

57 Yna efe a frysiodd, ac a aeth, ac a ddywedodd wrth y brenhin, a chapteniaid y llu, a'r gwŷr *eraill*, Yr ydym ni yn lleihâu beunydd, ac nid oes gennym ni ond ychydig ymborth; drachefn, y lle yr ydym ni yn ei amgylchu sy gadarn, ac arnom ni y mae cymmeryd gofal am y deyrnas.

58 Am hynny rhoddwn ddeheu-ddwylaw i'r gwŷr hyn, gwnawn heddwch rhyngom â hwynt, ac â'u holl genedl:

59 ‖ A chaniattawn iddynt fyw yn ol eu cyfraith, fel yr oeddynt o'r blaen: canys am hyn y maent hwy wedi cythruddo, â hyn oll a wnaethant hwy am ddilëu o honom ni eu cyfreithiau hwynt.

60 A'r brenhin a'r tywysogion a fuant foddlon. Ac efe a ddanfonodd attynt hwy i gynnyg heddwch; a hwy a'i derbyniasant.

61 A'r brenhin a'r tywysogion a dyngasant iddynt hwy; ac ar hynny hwy a ddaethant allan o'r castell.

62 A'r brenhin a aeth i fynu i fynydd Sïon; ond pan welodd efe gadernid y lle, efe a dorrodd y llw a dyngasai efe, ac a orchymynodd dynnu 'r gaer i lawr oddi amgylch.

† y rhai o Bethsura.
‡ *ymbarottodd.*
§ *waed.*
‖ *anifail.*
† *anifail.*
‡ *trwy gelfyddyd.*
§ *gan eu cynhyrfu hwynt, ac wedi eu hamgylchu â'r byddinoedd, neu, eu hymddiffyn â'r dyffrynnoedd.*
f Pen. 2. 5.
‖ *fel y torrodd ef hwynt yn ddrylliau.*
† *yn Judea.*
‡ chwanega allan o Josephus, *a hwy a ymroisant.*
§ *gwnaeth yno gynnau i ergydio oddi arnynt.*
‖ *Ac ammodwn â hwynt, gyd o honynt.*



A a a

63 Yna efe a ymadawodd ar frys, ac a ddychwelodd i Antiochia, ac a gafodd Phylip yn arglwyddiaethu ar y ddinas, ac a ymladdodd ag ef, ac a oresgynnodd y ddinas wrth grytder.

PEN. VII.

1 *Lladd Antiochus, a Demetrius yn teyrnasu yn ei le ef.* 5 *Alcimus yn chwennych bod yn Arch-offeiriad, ac yn achwyn ar Judas wrth y brenhin:* 16 *yn lladd tri-ugain o'r Asideaid.* 43 *Lladd Nicanor a gorchfygu gallu'r brenhin gan Judas.* 49 *Cadw dydd yr oruchafiaeth hon yn wyl ym mhob man.*

YN yr unfed flwyddyn ar ddeg a deugain a chant yr ymadawodd [a] Demetrius mab Seleucus o Rufain, ac a ddaeth ag ychydig wŷr i † ddinas ynglàn y môr, ac a deyrnasodd yno.

[a] 2 Mac. 14. 1. † Tripolis. Jos. Ant. lib. 12. cap. 16.

2 A phan ddaeth efe i ‡ frenhindy ei hynafiaid, digwyddodd i'w lu ef ddàl Antiochus a Lysias, i'w dwyn atto ef.

‡ *lys.*

3 A phan wybu efe hynny, efe a ddywedodd, Na ddangoswch i mi eu hwynebau hwy.

4 A'r llu a'u lladdodd hwynt, a Demetrius a eisteddodd ar orseddfa ei frenhiniaeth.

5 Yna yr holl ddynion drygionus annuwiol o Israel a ddaethant atto ef, ac Alcimus oedd eu capten hwy, yr hwn oedd yn chwennychu bod yn Arch-offeiriad:

6 Ac a gyhuddasant y bobl wrth y brenhin, gan ddywedyd, Judas a'i frodyr, a laddasant dy holl garedigion di, ac a'n gyrrasant ni allan o'n § gwlad.

§ *tir ein hun.*

7 Am hynny danfon ryw wr yr ydwyt yn ymddiried iddo, ac aed ac edryched yr holl ddistryw a wnaeth efe arnom ni, ac ar wlad y brenhin, a chosped efe hwynt, a phawb sydd yn eu cynnorthwyo.

8 Yna 'r brenhin a ddewisodd Bacchides, caredig y brenhin, yr hwn oedd yn llywodraethu o'r tu draw i'r afon, ac oedd wr mawr yn y deyrnas, ac yn ffyddlon i'r brenhin:

9 Ac efe a'i danfonodd ef gyd ag Alcimus annuwiol, yr hwn a wnaethai efe yn Arch-offeiriad, ac a orchymynodd iddo ddïal ar blant Israel.

10 A hwy a ymadawsant, ac a ddaethant â llu mawr i wlad Judea, ac a ddanfonasant genhadon at Judas a'i frodyr, ac a ddywedasant eiriau heddychol yn dwyllodrus wrthynt hwy.

11 Eithr ni wnaethant hwy goel ar eu geiriau hwy: canys hwy a welsant ddyfod o honynt hwy â llu mawr.

12 Wedi hyn cynnulleidfa o'r || 'sgrifenyddion a ymgasglodd at Alcimus a Bacchides, i geisio cyfiawnder.

|| *rhyddogion, llywodraethwŷr, gorchwylwŷr, neu, wŷr mewn awdurdod.*

13 A'r Asideaid oedd y rhai cyntaf ymhlith plant Israel a geisiasant heddwch ganddynt hwy,

14 Gan ddywedyd, Daeth un sy Offeiriad o had Aaron gyd â'r llu yma, ac ni wna efe gam â nyni.

15 Ac efe a roes eiriau heddychol iddynt hwy, ac a dyngodd wrthynt, gan ddywedyd, Ni wnawn ni ddrwg i chwi, nac i'ch caredigion.

16 A hwy a'i credasant ef, ond efe a ddàliodd dri-ugeinwr o honynt hwy, ac a'u lladdodd hwy mewn un diwrnod, yn ol y geiriau a 'sgrifenodd *Dafydd:*

17 Hwy [b] a daflasant allan gig dy Saint di, ac a dywalltasant eu gwaed hwy o amgylch Jerusalem, ac nid oedd neb a'u claddai hwynt.

[b] Psal. 79. 2, 3.

18 A'u hofn hwynt a'u dychryn a ddaeth ar yr holl bobl, y rhai a ddywedent, Nid oes na gwirionedd na † chyfiawnder ynddynt hwy; o blegid hwy a dorrasant y llw a'r ammod a wnaethant.

† *barn.*

19 A Bacchides a symmudodd o Jerusalem, ac a wersyllodd yn Bezeth, ac a ddanfonodd allan oddi yno, ac a ddàliodd lawer o'r rhai a'i gadawsent ef, a rhai o'r bobl, ac a'u lladdodd hwy, ac [c] a'u taflodd i'r pydew mawr.

[c] Jer. 41. 7.

20 Yna efe a orchymynodd y wlad i Alcimus, ac a adawodd ryfelwŷr gyd ag ef, i'w gymmorth ef. A Bacchides a aeth at y brenhin.

21 Ac felly Alcimus a ‡ ymrysonodd am yr Arch-offeiriadaeth.

‡ *ymegniodd i ymddiffyn ei Arch-offeiriadaeth.*

22 A'r holl rai oedd yn cythryblu 'r bobl, a ymgasglasant atto ef, ac a ynnillasant wlad Judah, ac a wnaethant ddrwg mawr yn Israel.

23 Pan welodd Judas yr holl ddrwg a wnaethai Alcimus, a'r rhai oedd gyd ag ef i'r Israeliaid, ie mwy nag a *wnaethai*'r Cenhedloedd,

24 Efe a drammwyodd trwy holl derfynau Judah oddi amgylch, ac a wnaeth ddïaledd ar y gwŷr a ffoisent ymaith oddi wrtho ef at y gelynion, oni pheidiasant hwy â dyfod mwy § i'r wlad.

§ *yn erbyn y wlad.*

25 Pan welodd Alcimus fod Judas a'r rhai oedd gyd ag ef wedi || cael y llaw uchaf, a gwybod na allai efe eu haros hwy, efe a ddychwelodd at y brenhin, ac † a'u cyhuddodd hwy o ddrygioni.

|| *myned yn gryfion iawn.* † *a ddywedodd waethu y gallai am danynt.*

26 Yna 'r brenhin a ddanfonodd Nicanor, un o'i dywysogion anrhydeddus, yr hwn oedd yn casàu ac yn dwyn gelyniaeth i Israel, ac a orchymynodd iddo ddistrywio 'r bobl yn llwyr.

27 A Nicanor a ddaeth i Jerusalem â llu mawr, ac a ddanfonodd eiriau heddychol at Judas a'i frodyr, ond trwy dwyll, gan ddywedyd,

161.

28 Na fydded rhyfel rhyngof â chwi. Mi a ddeuaf ag ychydig wŷr i weled eich wynebau chwi yn heddychol.

29 Felly efe a ddaeth at Judas, a hwy a gyfarchasant eu gilydd yn heddychol. Ond yr oedd y gelynion yn barod i gippio Judas i ffordd.

30 Etto hyspyswyd y peth i Judas, mai trwy dwyll y daethai efe atto ef: ac efe a'i hofnodd ef yn fawr, ac ni fynnai weled ei wyneb ef mwy.

31 Pan wybu Nicanor, ddatguddio ei fwriad ef, efe a aeth allan i ‡ ymladd yn erbyn Judas, yn ymyl § Capharsalama.

‡ *gyfarfod â Judas mewn rhyfel.* § *Carphasalama.*

32 Ac ynghylch pum mil o wŷr o lu Nicanor a laddwyd, a'r *lleill* a ffoisant i ddinas Dafydd.

33 Wedi hyn Nicanor a aeth i fynu i fynydd Sïon, a rhai o'r Offeiriaid a henaduriaid y bobl a aethant allan o'r Cyssegr i gyfarch iddo ef yn heddychol, ac i ddangos iddo ef y poeth-offrymmau yr oeddid yn eu hoffrwm dros y brenhin.

34 Ond efe a chwarddodd am eu pennau hwy, ac a'u gwatwarodd hwy, ac || a'u halogodd hwy, ac a ddywedodd yn falch.

|| *a wnaeth gam cywilyddus â hwynt.*

35 Ac efe a dyngodd yn ei ddig, gan ddywedyd, Oni roddir yn awr Judas a'i wersyll yn fy nwylaw i, os dychwelaf mewn

heddwch, myfi a losgaf y tŷ yma. Ac yna efe a aeth allan mewn digllondeb mawr.

36 Yna 'r Offeiriaid a ddaethant i mewn, ac a safasant o flaen yr allor a'r Deml, gan wylo, a dywedyd,

37 O Arglwydd, ti a ddewisaist y tŷ yma, † i alw ar dy Enw di ynddo, ac i fod yn dŷ gweddi ac ymbil i'th bobl.

† *i'w alw ar dy Enw.*

38 Gwna ddïaledd ar y gwr hwn a'i wersyll, oni ladder hwy â'r cleddyf: cofia eu cabledigaethau hwy, ac na ddioddef iddynt hwy barhâu.

39 A Nicanor a aeth allan o Jerusalem, ac a wersyllodd yn Bethoron; ac yno llu o Syria a gyfarfu ag ef.

40 A Judas a wersyllodd yn Adasa, â thair mil o wŷr, ac a wnaeth ei weddi, gan ddywedyd,

41 [d] O Arglwydd, pan ddaeth rhai oddi wrth y brenhin i'th gablu di, yr Angel a aeth allan, ac a laddodd gant a phump a phedwar ugain o filoedd o honynt hwy:

d 2 Bren. 19. 35. Esay 37. 36. Eccl. 48. 21. 2 Mac. 8. 19.

42 Distrywia felly y gwersyll hwn o'n blaen ni heddyw, fel y gallo pobl eraill wybod, ddywedyd o hono efe yn ddrwg am dy gyssegr di; a barna ef yn ol ei ddrygioni.

43 A'r gwersylloedd a darawsant ynghŷd, y trydydd dydd ar ddeg o'r mis Adar: A llu Nicanor a orchfygwyd, ac efe ei hun a laddwyd yn gyntaf yn y rhyfel.

44 Pan welodd rhyfelwŷr Nicanor ei ladd ef, hwy a daflasant eu harfau ymaith, ac a ffoisant.

45 Ond *yr Iuddewon* a'u hymlidiasant hwy daith un diwrnod, o Adasa nes dyfod i Gasera, ac a ganasant larwm mewn udgyrn ar eu hol hwynt.

46 A'r *Iuddewon* a ddaethant allan o holl drefi Judea oddi amgylch, ac a'u herlidiasant hwy: a hwy a droisant yn erbyn y rhai a'u herlidient, ac felly y lladded hwy oll â'r cleddyf, ac ni adawed neb o honynt hwy, na ddo un.

47 Yna hwy a gymmerasant yr yspail, a'r ysglyfaeth, ac a dorrasant ben Nicanor ymaith, a'i law ddehau ef, yr hon a estynnasai efe allan cyn falched, ac a'u dygasant hwy ymaith gyd â hwynt, ac a'u crogasant o flaen Jerusalem.

48 Am hynny 'r bobl a lawenychasant yn ddirfawr, ac a fwriasant y diwrnod hwnnw trwy orfoledd mawr:

49 Ac [e] a ordeiniasant gadw y diwrnod hwnnw, *sef* y trydydd dydd ar ddeg o'r mis Adar bob blwyddyn.

e 2 Mac. 15. 36.

50 Ac felly [f] gwlad Judah a gafodd heddwch dros ychydig amser.

f Pen. 9. 57. a 14. 4.

## PEN. VIII.

1 *Judas yn cael hysbysrwydd o allu a chyfrwysdra y Rhufeiniaid: 20 ac yn gwneuthur ammodau heddwch â hwynt. 24 Pyngciau yr heddwch hwnnw.*

JUDAS hefyd a glybu son am y Rhufeinwŷr, eu bod hwy yn alluog, ac yn wŷr cedyrn, ac yn foddlon i dderbyn y rhai a ymgyssylltai â hwynt, ac yn gwneuthur heddwch â phawb a'r oedd yn cyrchu attynt;

2 A'u bod yn alluog o nerth. A heb law hyn, eu rhyfeloedd hwy, a'r gwrolaeth a wnaethant hwy ym mysg y † Galatiaid, a fynegwyd iddynt hwy, ac fel y gorchfygasent hwynt, ac a'u dygasent dan deyrnged;

† *Ffrancod.*

3 A pha bethau a wnaethent hwy yngwlâd Hispaen, i ynnill y mwyn-gloddiau arian ac aur oedd yno;

4 Ac fel y goresgynnasent ‡ bob lle trwy eu doethineb a'u dioddefgarwch, (er pelled fyddai y lle oddi wrthynt hwy,) a'r brenhinoedd hefyd y rhai a ddaethai yn eu herbyn hwy o eithaf y ddaear, nes eu gorchfygu a'u taro yn drwm iawn, ac fel yr oedd y lleill yn talu teyrn-ged iddynt hwy bob blwyddyn;

‡ *yr holl le hwnnw.*

5 Ac fel y gorchfygasent hwy mewn rhyfel Phylip, a Pherseus brenhin y § Macedoniaid, ac eraill y rhai a ymgodasai yn eu herbyn hwy, ac y gorchfygasent hwynt;

§ *Cittimiaid.*

6 Fel y gorchfygasent hwy Antiochus y brenhin mawr o Asia, yr hwn a fynnai ymladd â hwynt, ac oedd ganddo chwe ugain o Elephantiaid, a gwŷr meirch, a cherbydau, a llu mawr iawn;

7 Ac fel y daliasent hwy ef yn fyw, ac yr ordeiniasent hwy iddo ef, ac i'r rhai a deyrnasai ar ei ol ef, dalu teyrn-ged fawr iddynt hwy, a rhoddi meichiau ar yr hyn a gyttunesid arno;

8 Fel y dygasent hwy oddi arno ef wlad India, a Media, a Lydia, ei wledydd goreu ef, ac y rhoddasent hwy y rhai hynny i'r brenhin Eumenes;

9 A pha fodd y rhoddasai'r Groegwŷr eu bryd ar ddyfod a'u difetha hwynt;

10 Ac y danfonasent hwythau, pan wybuant, gapten yn eu herbyn hwy, ac y laddasent lawer o honynt hwy, ac y caethgludasent eu gwragedd hwy a'u plant, ac yr yspeiliasent hwy, ac y cymmerasant feddiant yn eu tir hwy, ac y distrywiasent eu dinasoedd cedyrn hwy, ac a'u darostyngasent hwy i fod yn gaethwŷr iddynt hyd y dydd heddyw;

11 Ac fel y darfuasai iddynt hwy ddistrywio, a chaethiwo teyrnasoedd, ac ynysoedd eraill, y rhai a fuasai un amser yn eu gwrthwynebu hwy;

12 Ac fel yr oeddynt hwy yn cadw cydymdeithas â'u cyd-ymdeithion, ac â'r rhai oedd a'u hyder arnynt hwy, ac fel yr ynnillasent hwy deyrnasoedd ym mhell ac yn agos, a bod pawb yn eu hofni hwy a'r a glywsai son am danynt:

13 O blegid pwy bynnag a chwennychent hwy eu cymmorth i deyrnasu, y rhai hynny oedd yn teyrnasu; a thrachefn, y neb a fynnent, a ddiswyddent hwy: ac fel yr oeddynt hwy wedi dyfod i oruchafiaeth mawr:

14 Ac er hyn i gŷd nad oedd un o honynt yn gwisgo coron, nac yn ymddilladu â phorphor i'w fawrygu felly;

15 Ond gwneuthur o honynt hwy dŷ cyngor iddynt eu hunain, lle yr oedd tri chant ac ugain yn eistedd beunydd mewn cyngor, yn ymgynghori yn wastadol dros y bobl, i'w cadw hwynt mewn trefn dda:

16 Ac fel yr oeddynt hwy yn ymddiried i i un gwr bob blwyddyn i'w llywodraethu hwynt, ac i arglwyddiaethu ar eu holl wlad hwy, i'r hwn yr oedd pawb yn ufudd; ac nad oedd na chynfigen nac ‖ eiddigedd yn eu plith hwy.

‖ *gwynfydu.*

17 Yna Judas a ddewisodd Eupolemus fab Joan, fab Accas, a Jason fab Eleazar, ac a'u danfonodd hwy i Rufain i wneuthur cyfammod caredigrwydd a † chyd-ymdeithas â hwynt;

† *chyd-gyfeillach.*

18 Ac i ddeisyf arnynt hwy dynnu'r iau oddi arnynt hwy: o blegid yr oeddynt hwy yn gweled fod brenhiniaeth y Groegwŷr yn gorthrymmu Israel â chaethiwed.

19 A hwy a aethant i Rufain; ac yr oedd y ffordd yn bell iawn; ac a aethant i mewn i dŷ 'r cyngor, lle y llefarasant ac y dywedasant,

20 Judas Maccabëus a'i frodyr a phobl yr Iuddewon, a'n danfonodd ni attoch chwi, i ymrwymo mewn ammodau cyd-ymdeithas a heddwch â chwychwi, ac i chwithau ein 'sgrifenu ninnau yn gyd-ymdeithion, ac yn garedigion i chwithau.

21 Ac yr oedd y chwedl yma yn rhyngu bodd i'r Rhufeiniaid yn dda iawn.

22 A dyma gopi o'r ysgrifen a argraphodd y *cyngor* mewn llechau pres, ac a anfonasant hwy i Jerusalem, fel y byddai yno gyd â hwy yn goffadwriaeth o'r heddwch, ac o'r gyd-ymdeithas.

23 † Bid yn dda i'r Rhufeinwŷr, ac i bobl yr Iuddewon, ar fôr ac ar dir yn dragywydd: a phell fyddo'r cleddyf a'r gelyn oddi wrthynt.

*† Llwyddiant.*

24 Os daw rhyfel yn gyntaf yn erbyn y Rhufeinwŷr, neu yn erbyn neb o'u cyd-ymdeithion hwy, trwy eu holl arglwyddïaeth hwy,

25 Pobl yr Iuddewon a'u cymhorthant hwy, fel y ‡ gofynno'r amser, ag ewyllys eu calon:

*‡ gosoder yr.*

26 Ac ni roddant ddim i'r rhai a ryfelant yn eu herbyn hwynt, ac ni chynnorthwyant hwynt nac â bwyd, nac ag arian, nac â llongau, fel y rhyngodd bodd i'r Rhufeinwŷr; eu hammodau a gadwant heb gymmeryd dim am hynny.

27 Yn yr un ffunud, os digwydd i bobl yr Iuddewon yn gyntaf gaffael rhyfel, y Rhufeinwŷr a ymladdant gyd â hwy o ewyllys da fel y gosoder yr amser iddynt:

28 Ac ni roddant i elynion yr Iuddewon na bwyd, nac arfau, nac arian, na llongau, fel y gwelodd y Rhufeinwŷr yn dda; eithr hwy a gadwant yr ammodau hyn, a hynny yn ddidwyll.

29 Yn ol y geiriau hyn y gwnaeth y Rhufeinwŷr ammod â phobl yr Iuddewon.

30 Ac os ewyllysia'r un o'r ddwy blaid o hyn allan 'chwanegu at, neu dynnu oddi wrth y geiriau hyn, gwnant wrth eu hewyllys: a pha beth bynnag a 'chwanegant attynt, neu a dynnant oddi wrthynt, hynny a saif.

31 Ac am y drwg y mae Demetrius yn ei wneuthur i'r Iuddewon, ni a 'sgrifenasom atto ef, gan ddywedyd, Paham y gwnaethost ti dy iau yn drwm ar ein caredigion ni a'n cyd-ymdeithion yr Iuddewon?

32 Os achwynant hwy rhagot ti drachefn, nyni a wnawn gyfiawnder iddynt, ac a ymladdwn â thi ar fôr ac ar dir.

## PEN. IX.

1 *Alcimus a Bacchides yn dyfod drachefn â galluoedd newydd i Judea: 7 A llu Judas yn cilio oddi wrtho, 17 a'i ladd yntau. 30 Jonathan yn dyfod yn ei le ef. 40 ac yn dial cam ei frawd Joan. 55 Plâau Alcimus, ac yntau yn marw. 70 Bacchides yn heddychu â Jonathan.*

A Phan glybu Demetrius ladd Nicanor a'i lu mewn rhyfel, efe a aeth rhagddo, ac a ddanfonodd Bacchides ac Alcimus drachefn i Judea, a chadernid ei lu gyd â hwynt.

2 A hwy a aethant allan 'rhŷd y ffordd sydd yn myned tu a † Galgala, ac a wersyllasant o flaen Masaloth, yr hon sy yn Arbela, ac a'i hynnillasant hi, ac a laddasant lawer o bobl.

*† Neu, Galilea.*

3 Y mis cyntaf hefyd o'r ddeuddegfed flwyddyn a deugain a chant, hwy a wersyllasant o flaen Jerusalem.

4 Ond gan gyfodi'r gwersyll i fynu, hwy a aethant i ‡ Berea, ac ugein mil o wŷr traed, a dwy fil o wŷr meirch.

*‡ Berrethα. Joseph.*

5 Judas yntau a wersyllasai yn Eleasa, a thair mil o wŷr detholedig gyd ag ef.

6 A phan welsant hwy liosowgrwydd y llu arall, ei fod efe cymmaint, hwy a ofnasant yn ddirfawr; a llawer a dynnasant allan o'r gwersyll, ac nid arhôdd yno ond wyth gant o wŷr.

7 Pan welodd Judas fod ei lu ef wedi cilio, a'r rhyfel yn pwyso arno, efe a fawr drallodwyd yn ei galon, o eisiau caffael amser i'w casglu hwy ynghŷd, ac a ddigalonnodd.

8 Etto efe a ddywedodd wrth y rhai a drigasent gyd ag ef, Cyfodwn, ac awn yn erbyn ein gelynion, nid hwyrach i ni allu ymladd â hwynt.

9 Ond hwy a fynnasent ei droi ef, gan ddywedyd, Ni allwn ni ddim. § Am hynny achubwn ein heinioes yn awr: ac yn ol hyn ni a ddychwelwn ynghŷd â'n brodyr, ac a ymladdwn yn eu herbyn hwy: canys nid ydym ni ond ychydig.

*§ Yn ol y copi lladin y mae hwn.*

10 Yna Judas a ddywedodd, Na adawo Duw i mi wneuthur hyn, a ffoi oddi wrthynt hwy; am hynny os ein hamser ni a ddaeth, gedwch i ni farw fel gwŷr dros ein brodyr, ac na adawn fai ‖ yn y byd ar ein gogoniant.

*‖ achos da i ddywedyd yn erbyn ein gogoniant.*

11 A llu *Bacchides* a aeth allan o'r gwersyll, ac a safodd † yn eu herbyn hwy, a'r gwŷr meirch a gyfrannwyd yn ddwy ‡ ran: y taflyddion a'r saethyddion a gerddasant o flaen y llu, a'r rhai oll oedd yn blaenori y llu oeddynt wŷr cryfion.

*† Neu, yn erbyn yr Iuddewon.*
*‡ fyddin.*

12 A Bacchides ei hun oedd yn yr adain ddehau. A'r fyddin a nesnodd ar y ddeutu, a hwy a ganasant yr udgyrn.

13 Gwŷr Judas a ganasant yr udgyrn hefyd, a'r ddaear a ysgydwodd wrth dwrf y lluoedd: a hwy a darawsant ynghŷd o'r bore hyd y nos.

14 A phan welodd Judas fod Bacchides a chryfder ei lu ar y tu dehau, efe a gymmerodd yr holl wŷr calonnog gyd ag ef,

15 Ac a ddrylliodd adain ddehau eu byddin hwy, ac a'i herlidiodd hyd ym mynydd Azotus.

16 Pan welodd y rhai oedd yn yr adain asswy fod y rhai o'r adain ddehau wedi eu dryllio, hwy a ganlynasant ar Judas a'i wŷr, wrth eu sodlau, o'r tu ol.

17 Ac yna yr aeth y rhyfel yn frwd, a llawer a laddwyd, ac a archollwyd, o'r ddwy blaid.

18 Judas hefyd a laddwyd, a'r lleill a ffoisant.

19 A Jonathan a Simon a gymmerasant Judas eu brawd, ac a'i claddasant ef ym medd ei dadau ym Modin.

20 A hwy a wylasant; a [a] holl bobl Israel a wnaethant farwnad mawr am dano ef, ac a alarasant dros ddyddiau lawer, gan ddywedyd,

[a] Pen. 13. 26.

21 Pa fodd y cwympodd y gwr galluog oedd yn achub Israel!

22 Ond ni 'sgrifenwyd y pethau eraill oedd yn perthyn i Judas, a'i ryfeloedd, a'i weithredoedd ardderchog, a'i fawredd ef: canys llawer iawn oeddynt hwy.

23 ¶ Wedi marw Judas, dynion drygionus a ddyrchafasant eu pennau o fewn holl derfynau Israel, a phawb a'r oeddynt yn gwneuthur anwiredd a gyfodasant.

24 Yr oedd newyn mawr iawn yn y dyddiau hynny, a'r holl wlad a ymadawodd ar eu hol † hwynt.

† *Sef, Bacchides a'i wŷr.*

25 A Bacchides a ddewisodd wŷr annuwiol, ac a'u gwnaeth hwy yn arglwyddi ar y wlad.

26 Y rhai hynny a geisiasant, ac a chwiliasant am garedigion Judas, ac a'u dygasant hwy at Bacchides, ac efe a ddïalodd arnynt hwy, ac a'u ‡ gwatwarodd hwy yn ddirfawr.

‡ *wnaeth ddirmyg arnynt.*

27 A chystudd mawr a ddigwyddodd yn Israel; ni bu y fath er pan [b] ni welwyd prophwyd yn eu plith hwy.

[b] Pen. 4. 16.

28 A holl garedigion Judas a ymgasglasant, ac a ddywedasant wrth Jonathan,

29 Er pan fu farw dy frawd Judas, nid oes gennym neb tebyg iddo ef i fyned allan yn erbyn ein gelynion, a Bacchides, ac yn erbyn y rhai o'n cenedl sydd elynion i ni.

30 Am hynny nyni a'th ddewisasom di heddyw yn ei le ef, i fod yn dywysog, ac yn gapten i ni, i ymladd ein rhyfeloedd ni.

31 A Jonathan a gymmerodd y dywysogaeth arno yr amser hwnnw, ac a gododd i fynu yn lle Judas ei frawd.

32 Pan wybu Bacchides hynny efe a geisiodd ei ladd ef.

33 Ond Jonathan a Simon ei frawd, a phawb a'r oedd gyd â hwy a wybuant hyn, ac a ffoisant i anialwch Thecoe, ac a wersyllasant wrth ddwfr llynn Asphar.

34 § Pan ddeallodd Bacchides hynny, efe a ddaeth a'i holl lu yn agos i'r Iorddonen ar y dydd Sabboth.

§ *Pan ddeallodd Bacchides hynny ar y dydd Sabboth, etc.* &c.

35 A *Jonathan* a ddanfonasai ei frawd ‖ *Ioan* capten y bobl, i ddymuno ar ei garedigion y Nabathiaid, gaffael o honynt hwy adel eu † hoffer gyd â hwy i'w cadw, o blegid yr oedd llawer ganddynt hwy.

‖ Jos. Ant. l. 13. c. 1.
† *dodrefn, neu, olud.*

36 Ond plant Jambri a ddaethant allan o Medaba, ac a ddaliasant Ioan, a'r holl bethau oedd ganddo ef, ac a aethant ymaith â hwynt ganddynt.

37 Yn ol y pethau hyn y daeth gair i Jonathan ac i Simon ei frawd, fod plant Jambri yn gwneuthur neithior fawr, ac yn dwyn y ferch o ‡ Medaba â § chynhebrwng mawr, o blegid merch oedd hi i un o benaethiaid mawrion Canaan.

‡ *Medaba.*
§ *mintai fawr.*

38 Yna hwy a gofiasant Ioan eu brawd, ac a aethant i fynu, ac a ymguddiasant ynghysgod y mynydd.

39 A hwy a godasant eu golwg i fynu, ac a edrychasant, ac wele, yr oedd ‖ trwst ac arlwy mawr: a'r priodas-fab a ddaethai allan â'i garedigion, ac â'i frodyr, i'w cyfarfod hwy, â thympanau † ag offer cerdd, ac ag arfau lawer.

‖ *llawer o drafferth.*
† *â gwŷr wrth gerdd.*

40 Yna Jonathan a'r rhai oedd gyd ag ef a godasant i fynu allan o'u llochesau yn eu herbyn hwy, ac a laddasant lawer o honynt hwy, a'r lleill a ffoisant i'r mynydd: a hwy a gymmerasant eu holl yspail hwy.

41 Felly y brïodas a drŏed yn alar, a llais eu cerddorion hwy yn farwnad.

42 Ac felly wedi iddynt hwy lwyr ddïal gwaed eu brawd, hwy a ddychwelasant i ‡ oror yr Iorddonen.

‡ *gorsydd.*

43 Pan glybu Bacchides hynny, efe a ddaeth i lân yr Iorddonen â llu mawr, ar y dydd Sabboth.

44 A Jonathan a ddywedodd wrth y rhai oedd gyd ag ef, Cyfodwn heddyw i fynu, ac ymladdwn am ein heneidiau: canys nid ydym heddyw yn sefyll yn yr un cyflwr ag yr oeddym ni er ys dyddiau:

45 Wele, y mae'r rhyfel o'n blaen ac o'n hol ni, a dwfr yr Iorddonen o'r naill du, ac o'r tu arall siglennydd a choedydd; ac nid oes i ni le i gilio.

46 Am hynny gwaeddwch yr awr hon tu a'r nef, fel yr achuber chwi o law eich gelynion.

47 Ac felly hwy a darawsant ynghŷd, a Jonathan a estynnodd allan ei law i daro Bacchides; ond efe a giliodd yn ol oddi wrtho ef.

48 Yna Jonathan a'r rhai oedd gyd ag ef a neidiasant i'r Iorddonen, ac a nofiasant drosodd i'r lân draw: ond nid ai y lleill dros yr Iorddonen ar eu hol hwy.

49 Ac ynghylch § mil o wŷr Bacchides a laddwyd y diwrnod hwnnw.

§ *dwy fil* Jos. Ant. l. 13. c. 1.

50 Am hynny *Bacchides* a ddychwelodd i Jerusalem, ac a ‖ adeiladodd y dinasoedd cedyrn oedd yn Judea, a'r amddiffynfa yn Jericho, ac Emmaus, a Bethoron, a Bethel, a Thamnatha, a Pharathoni, a † Thaphon, â chaerau uchel, â phyrth, ac â barrau;

‖ *gyweirodd.*
† *Techoa,* Joseph.

51 Ac a osododd wŷr ynddynt i'w cadw, ac i wneuthur gelyniaeth ag Israel.

52 Efe a adeiladodd gaerau ynghylch y ddinas ‡ Bethsura, a Gazara, a'r castell, ac a osododd wŷr a bwyd ynddynt hwy.

‡ *yn Bethsura.*

53 Efe a gymmerodd hefyd feibion penaethiaid y wlad yn wystlon, ac a'u rhoddodd hwy yn y castell yn Jerusalem, i'w cadw.

54 Wedi hynny, yn y drydedd flwyddyn ar ddeg a deugain a chant, yr ail mis, 3844
Alcimus a orchymynodd iddynt hwy dynnu i lawr gaerau cyntedd y cyssegr nesaf i mewn: ac efe a dynnodd i lawr waith y prophwydi.

55 Ond ac efe yn dechreu tynnu i lawr, yr amser hwnnw y tarawyd Alcimus, a'i orchwyl ef a rwystred: a'i enau ef a gauwyd, ac efe a syrthiodd yn y parlys; fel na's gallai efe ymddiddan mwy, na gorchymyn dim ynghylch ei dŷ.

56 Alcimus a fu farw yr amser hwnnw mewn gofid mawr.

57 Pan welodd Bacchides farw Alcimus, efe a ddychwelodd at y brenhin, a [c] gwlad Judea a gafodd lonyddwch ddwy flynedd.

[c] Pen. 7. 50.

58 Yna'r holl wŷr annuwiol a ymgynghorasant, gan ddywedyd, Wele, y mae Jo- 3846
nathan a'i wŷr mewn esmwythdra, ac yn trigo mewn diofalwch: am hynny dygwn

Bacchides yma yn awr, ac efe a'u deil hwy oll mewn un noswaith.

59 Ac felly hwy a aethant ac a ymgynghorasant ag ef.

60 Ac efe a gododd i ddyfod â llu mawr, ac a ddanfonodd lythyrau yn ddirgel at ei holl gyfeillion oedd yn Judea, ar iddynt ddàl Jonathan a'r rhai oedd gyd ag ef: ond ni allent hwy, o blegid y lleill a wybuant eu bwriad hwy.

61 A Jonathan a ddàliodd ddeg a deugain o wŷr y wlad, y rhai oedd flaenoriaid yn y drwg hwnnw, ac a'u lladdodd hwy.

62 Yna Jonathan, a Simon, a'r rhai oedd gyd â hwy, a aethant ymaith i Bethbasi, yr hon sydd yn yr anialwch; a hwy a adnewyddasant yr hyn a syrthiasai o honi hi, ac a'i cadarnhasant hi.

63 Pan wybu Bacchides hyn, efe a gasglodd ei holl lu, ac a ddanfonodd air i'r rhai † oedd yn Judea.

*† o'r wlad oeddent garedigion iddo, i gymmeryd ei blaid ef.*

64 Yna efe a ddaeth ac a wersyllodd yn erbyn Bethbasi, ac a ymladdodd yn ei herbyn hi lawer o ddyddiau, ac a wnaeth offer rhyfel.

65 A Jonathan a adawodd ei frawd Simon yn y ddinas, ac a aeth allan i'r wlad, ac a aeth â rhifedi *o wŷr:*

66 Ac a laddodd ‡ Odonarces a'i frodyr, a meibion Phasiron yn eu lluest.

*‡ Odomerru.*

67 A phan ddechreuodd efe eu taro hwynt, a dyfod i fynu â'i fyddinoedd, Simon yntau a'r rhai oedd gyd ag ef a aethant allan o'r ddinas, ac a losgasant yr offer rhyfel,

68 Ac a ymladdasant yn erbyn Bacchides, ac a'i gorchfygasant ef, ac a'i cystuddiasant ef yn ddirfawr, am fod ei gyngor a'i daith ef yn ofer.

69 Am hynny efe a fu lidiog wrth y gwŷr annuwiol a'i cynghorasent ef i ddyfod i'r wlad, ac a laddodd lawer o honynt hwy: yna efe a fwriadodd fyned ymaith i'w wlad ei hun.

70 Pan wybu Jonathan hynny, efe a ddanfonodd genhadon atto ef, i wneuthur heddwch rhyngddo ag ef, ac i roddi iddynt hwy y carcharorion.

71 A Bacchides a gyttunodd i hynny, ac a wnaeth fel yr oedd ei ddymmuniad ef, ac a dyngodd hefyd na wnai efe niweid fyth iddo ef holl ddyddiau ei einioes;

72 Ac a adferodd iddo ef yr holl garcharorion a ddaliasai efe o'r blaen o wlad Judea; ac yna efe a ddychwelodd ac a aeth ymaith i'w wlad ei hun; ac ni ddaeth efe mwy i'w terfynau hwynt.

73 Ac felly y peidiodd y cleddyf yn Israel. A Jonathan a drigodd ym Machmas, ac a ddechreuodd § farnu'r bobl, ac efe a ddiwreiddiodd y rhai annuwiol allan o Israel.

*§ lywodraethu.*

## PEN. X.

*1 Demetrius yn cynnyg yn helaeth am gael heddwch Jonathan. 25 Ei lythyrau ef at yr Iuddewon. 47 Jonathan yn heddychu ag Alexander, 50 ac yntau yn lladd Demetrius, 58 ac yn prïodi merch Ptolemeus; 62 ac yn danfon am Jonathan, ac yn gwneuthur iddo barch mawr. 75 Jonathan yn cael y maes yn erbyn galluoedd Demetrius ïeuangaf, 84 ac yn llosgi teml Dagon.*

153. YN yr wyth ugeinfed flwyddyn, Alexander mab Antiochus a gyfenwid Epiphanes, a aeth i fynu ac a ynnillodd Ptolemais: a'r dinasyddion a'i derbyniasent ef, ac efe a deyrnasodd yno.

2 Pan glybu Demetrius hynny, efe a gasglodd lu mawr anfeidrol, ac a aeth allan yn ei erbyn ef i ryfela.

3 A Demetrius a ddanfonodd lythyrau at Jonathan â geiriau † heddychol, gan ei fawrygu ef.

*† caredig.*

4 Canys efe a ddywedodd, Nyni a wnawn dangnefedd ag ef yn gyntaf, cyn heddychu o hono ef ag Alexander yn ein herbyn ni:

5 Os amgen, efe a gofia'r holl ddrwg a wnaethom ni yn ei erbyn ef, ac yn erbyn ei frodyr a'i bobl.

6 Ac efe a roddes awdurdod i Jonathan i gasglu llu o wŷr, ac i ddarparu arfau, fel y cynnorthwyai efe ef mewn rhyfel: ac efe a orchymynodd roddi'r gwystlon oedd yn y castell iddo ef.

7 Yna Jonathan a ddaeth i Jerusalem, ac a ddarllenodd y llythyrau, lle yr oedd yr holl bobl, a'r rhai oedd yn y castell, yn clywed.

8 A hwy a ofnasant yn ddirfawr pan glywsant hwy roddi o'r brenhin awdurdod iddo ef i gasglu llu.

9 A'r rhai oedd yn y castell a roisant y gwystlon i Jonathan: ac efe a'u hadferodd hwy i'w rhïeni.

10 Jonathan hefyd a drigodd yn Jerusalem, ac a ddechreuodd adeiladu ac adnewyddu y ddinas.

11 Ac efe a orchymynodd i'r gweithwŷr adeiladu y caerau, a mynydd Sïon o'i amgylch â cherrig pedwar ochrog i fod yn lle cadarn: ac felly y gwnaethant hwy.

12 Yna y Cenhedloedd, y rhai oedd yn y cestyll a wnaethai Bacchides, a ffoisant.

13 A phob un a adawodd ei le, ac a aeth ymaith i'w wlad ei hun.

14 Yn unig yn Bethsura yr arhosodd rhai o'r rhai a wrthodasent y gyfraith a'r gorchymynion: o blegid honno oedd eu noddfa hwy.

15 Pan glywodd Alexander y brenhin yr addewidion a wnaethai Demetrius i Jonathan, a phan fynegasant hwy iddo ef y rhyfeloedd a'r gwroldeb a wnaethai efe a'i frodyr, a'r boen a gymmerasent hwy;

16 Efe a ddywedodd, A gawn ni y fath wr a hwn? gan hynny nyni a'i gwnawn ef yn gyfaill ac yn gydymaith i ni.

17 Ac ar hyn efe a 'sgrifenodd ac a ddanfonodd lythyr atto ef o'r geiriau hyn, gan ddywedyd,

18 Y mae'r brenhin Alexander yn cyfarch ei frawd Jonathan.

19 Ni a glywsom am danat ti, dy fod ti yn wr galluog nerthol, ac yn gymmwys i fod yn un o'n caredigion ni;

20 Am hynny ni a'th osodasom di heddyw yn Arch-offeiriad ar dy bobl, ac i'th alw yn garedig-ddyn i'r brenhin; (ac efe a ddanfonodd wisg o borphor, a choron o aur iddo ef;) ac i gymmeryd ein plaid ni, ac i gadw caredigrwydd â nyni.

21 A Jonathan a wisgodd y wisg sanc- 3854
taidd am dano, y seithfed mis o'r wythugeinfed flwyddyn, ar wyl y pebyll; ac efe a gasglodd lu, ac a barottodd lawer o arfau.

22 Pan glywodd Demetrius y geiriau hyn, efe a dristaodd yn ddirfawr, ac a ddywedodd,

23 Pahanı y gwnaethom ni hyn, pan ragflaenai Alexander nyni, yn gwneuthur cyfeillach â'r Iuddewon, i'w gryfhâu ei hun?

24 Minnau a 'sgrifenaf attynt eiriau cyfforddus, *ac a addawaf* godiad a rhoddion iddynt hwy, fel y byddont yn gymhorthwŷr i mi.

25 Ac efe a 'sgrifenodd y geiriau hyn attynt hwy; Y brenhin Demetrius at bobl yr Iuddewon, yn anfon annerch.

26 Yn gymmaint a chadw o honoch ammodau â nyni, a glynu yn ein cyfeillach ni, heb fyned at ein gelynion ni, hyn a glywsom, ac ni a lawenychasom.

27 Am hynny parhewch, a byddwch ffyddlon i ni, ac ni a dalwn i chwi yn dda am y pethau yr ydych chwi yn eu gwneuthur yn ein plaid ni.

28 Ni a faddeuwn i chwi lawer o bethau dyledus, ac a roddwn i chwi roddion.

29 Ac yn awr yr ydwyf fi yn eich rhyddhâu chwi, a'r holl Iuddewon er eich mwyn chwi yr ydwyf yn eu rhyddhâu oddi wrth deyrn-ged ac oddi wrth daledigaethau yr halen, ac oddi wrth dreth y goron;

30 Ac oddi wrth yr hyn sydd i mi i'w gael am drydedd ran yr had, a hanner ffrwyth y coed; yr ydwyf fi yn eu maddeu hwy o'r dydd heddyw allan, fel na's cymerer hwy o wlad Judea, nac o'r tair talaith a 'chwanegwyd atti, allan o Samaria, a Galilea, o'r dydd heddyw allan yn dragywydd.

31 Bydded Jerusalem yn sanctaidd, ac yn rhŷdd, a'i holl derfynau, oddi wrth ddegymmau ac ardrethion.

32 Ac am y castell sydd yn Jerusalem, yr ydwyf fi yn rhoddi i fynu fy meddiant arno, ac yn ei roddi ef i'r Arch-offeiriad, fel y gallo efe osod ynddo y cyfryw wŷr ag a ddewiso efe i'w gadw ef.

33 Ac yr ydwyf fi yn rhad yn gollwng yn rhŷdd bob perchen enaid o ddyn o'r Iuddewon a gaeth-gluded o wlad Judea i fan yn y byd o'm teyrnas i: a maddeued pawb *o'm swyddogion* i eu teyrn-ged hwy, sef o'u hanifeiliaid hwy.

34 A'r holl wyliau, a'r Sabbothau, a'r lloerau newydd, y dyddiau arferedig, y tridiau ym mlaen ac yn ol yr wyl, a gânt fod yn ddyddiau o ryddid a maddeuant i'r holl Iuddewon yn fy nheyrnas i.

35 Ac ni chaiff neb awdurdod i ymyrryd arnynt, nac i flino neb o honynt am ddim.

36 Ysgrifener i lawr hefyd o'r Iuddewon, i fod o lu y brenhin, ynghylch deng-mil ar ugain o wŷr, a rhodder iddynt † roddion, fel y mae yn perthyn i bawb o lu y brenhin.

† *daledigaeth.*

37 Gosoder hefyd o honynt hwy, rai ynghestyll mawrion y brenhin, a rhai o'r rhai'n a osodir ar negesau y brenhin, y rhai ydynt o ymddiried. Bydded hefyd y rhai fyddant arnynt hwy, ac yn dywysogion, o honynt hwy eu hunain, a ‡ rhodiant yn eu cyfraith eu hun, megis y gorchymynodd y brenhin yn nhir Judea.

‡ *byddant fyw yn ol.*

38 Chwaneger hefyd at Judea y tair talaith a roddwyd o wlad Samaria at Judea, i'w cyfrif yn un, fel nad ufuddhaont i awdurdod neb arall ond yr Arch-offeiriad.

39 Ptolemais a'i chyffiniau yr ydwyf fi yn ei rhoddi yn rhodd i'r Cyssegr sydd yn Jerusalem, at § gymhesur draul y ‖ Cyssegr.

§ *angenrheidiol.*
‖ *pethau sanctaidd.*

40 Ac yr wyf fi yn rhoddi bob blwyddyn bymtheng mil o siclau arian allan o gyfrif y brenhin o'r lleoedd a berthyn.

41 A'r hyn sydd † yngweddill heb i'r swyddwŷr ei dalu i mewn, megis yn y blynyddoedd o'r blaen, o hyn allan rhoddant at waith y Deml.

† *dros ben.*

42 Ac heb law hyn y pùm mil sicl o arian, y rhai a gymmerasant hwy allan o raid y Cyssegr o'r cyfrif bob blwyddyn, yr ydys yn maddeu y rhai hynny, am eu bod hwy yn perthynu i'r offeriaid sydd yn gwasanaethu.

43 A phwy bynnag a ffoant i'r Deml sydd yn Jerusalem, neu i'w holl gyffiniau, a'r y mae y brenhin yn dylu iddynt ardreth neu ddim arall, gadawer hwynt yn rhyddion, a'r hyn oll sydd ganddynt yn fy nheyrnas i.

44 Ac fel yr adeilader, ac y cyweirier gwaith y Cyssegr, fe a roddir traul hefyd o gyfrif y brenhin.

45 Felly y rhoddir traul o gyfrif y brenhin i adeiladu caerau Jerusalem, ac i'w chadarnhâu o amgylch, ac i adeiladu y caerau yn Judea.

46 Ond pan glybu Jonathan a'r bobl y geiriau hyn, ni roddasant goel iddynt, ac ni's derbyniâsant hwynt: canys hwy a gofiasant y mawr ddrygioni a wnaethai efe yn Israel, ac mor ddirfawr y cystuddiasai efe hwynt.

47 Am hynny hwy a fuant foddlon i Alexander, o blegid efe a fuasai yn gyntaf 3854.
yn crybwyll wrthynt am wir heddwch; a hwy a ryfelasant gyd ag ef *eu* holl ddyddiau.

48 A'r brenhin Alexander a gasglodd lu mawr, ac a wersyllodd ‡ yn erbyn Demetrius.

‡ *gyferbyn â.*

49 Felly y ddau frenhin a darawsant ynghŷd mewn rhyfel, a llu Demetrius a ffodd: ac Alexander a'i herlidiodd ef, ac a'u gorchfygodd hwynt.

50 Eithr y rhyfel a barhaodd yn frwd hyd fachlud haul; a lladdwyd Demetrius y dydd hwnnw.

51 Ac Alexander a anfonodd genhadau at Ptolemeus brenhin yr Aipht, gan ddywedyd yn ol y geiriau hyn;

52 Gan ddychwelyd o honof i dir fy mrenhiniaeth, ac eistedd ar orseddfaingc fy nhadau, a chael y dywysogaeth, a difetha Demetrius, ac ynnill ein gwlad ni;

53 (Canys wedi cydio o honof fi ag ef mewn cad, difethwyd ef a'i lu gennym ni, ac yr ydwyf yn eistedd ar orseddfaingc ei deyrnas ef;)

54 Yn awr gan hynny gwnawn gyfeillach rhyngom, ac yr awrhon dod i mi dy ferch yn wraig, ac mi a fyddaf § ddaw i ti, ac a roddaf i ti, ac iddi hithau roddion addas i ti.

§ *fab yn y gyfraith.*

55 A'r brenhin Ptolemeus a attebodd, gan ddywedyd, Da *yw*'r dydd y dychwelaist i dir dy hynafiaid, ac yr eisteddaist ar orseddfaingc eu brenhiniaeth hwynt.

56 Ac yr awrhon mi a wnaf i ti yr hyn a 'sgrifenaist. Eithr tyred i gyfarfod i Ptolemais, fel y gwelom ein gilydd: ac mi a fyddaf chwegrwn i ti, fel y dywedaist.

57 Felly yr aeth Ptolemeus allan o'r Aipht, efe a Chleopatra ei ferch, a hwy a ddaethant i Ptolemais yn yr ail flwyddyn a thrugain a chant.

58 A'r brenhin Alexander a'i cyfarfu ef; yntau a roddes ei ferch Cleopatra iddo ef,

ac a wnaeth ei neithior hi yn Ptolemais, mewn gogoniant mawr, fel y *mae arfer* brenhinoedd.

59 A'r brenhin Alexander a 'sgrifenasai at Jonathan i ddyfod i gyfarfod ag ef.

60 Ac efe a aeth i Ptolemais yn ogoneddus, ac a gyfarfu â'r ddau frenhin, ac a roddes arian ac aur iddynt hwy ac i'w caredigion, a rhoddion lawer, ac efe a gafodd ffafr yn eu golwg hwynt.

61 A gwŷr ysgeler o Israel, *sef* gwŷr annuwiol a ymgasglasant yn ei erbyn ef, i achwyn arno ef: ond ni wrandawodd y brenhin arnynt hwy.

62 A'r brenhin hefyd a archodd ddïosg Jonathan o'i ddillad, a'i wisgo ef â phorphor. A hwy a wnaethant felly.

63 A'r brenhin a wnaeth iddo eistedd gyd ag ef, ac a ddywedodd wrth ei dywysogion, Ewch allan gyd ag ef i ganol y ddinas, a chyhoeddwch na achwyno neb yn ei erbyn ef am ddim matter, ac na flino neb ef am un achos.

64 A phan welodd y rhai oedd yn achwyn *arno* ei ogoniant ef, y modd y cyhoeddasid, ac yntau wedi ei wisgo â phorphor, hwy a ffoisant oll.

65 A'r brenhin a'i hanrhydeddodd ef, ac a'i 'sgrifenodd ef ym mysg ei gyfeillion pennaf, ac a'i gwnaeth ef yn dywysog, ac yn † gyfrannog o'i lywodraeth ef. *† llywodraethwr ar dalaith.*

66 A Jonathan a ddychwelodd i Jerusalem, yn heddychlon, ac yn llawen.

148. 67 Ac yn y bummed flwyddyn a thrugain a chant y daeth Demetrius mab Demetrius, o Creta i dir ei hynafiaid.

68 A'r brenhin Alexander a glybu, ac a dristaodd yn ddirfawr, ac efe a ddychwelodd i Antiochia.

69 A Demetrius a osododd Apolonius, yr hwn oedd ar Celosyria *yn ben-capten,* ac efe a gasglodd lu mawr, ac a wersyllodd yn Jamnia, ac a anfonodd at Jonathan yr Archoffeiriad, gan ddywedyd,

70 Tydi yn unig yn anad neb ydwyt yn ymddyrchafu i'n herbyn ni; minnau a euthum yn watworgerdd, ac yn waradwydd o'th achos di: a phaham yr wyt ti yn cymmeryd awdurdod i'n herbyn ni yn y mynyddoedd?

71 Am hynny yn awr os ydwyt yn ymddiried yn dy gryfder dy hun, tyred i waered attom ni i'r maes, ac yno ymgystadlwn â'n gilydd: canys y mae gennyf fi lu y dinasoedd.

72 Gofyn, a dysg pwy ydwyf fi, a'r lleill sydd yn ein helpu ni; hwy a fynegant i ti nad oes fodd i'th droed ti sefyll yn ein hwyneb ni: o blegid dy hynafiaid a yrrwyd i ffoi ddwywaith yn eu gwlad eu hun.

73 Ac yr awr hon gan hynny ni elli di aros y fath feirch, a llu yn y maes, lle nid oes na charreg, na maen, na lle i ffoi.

74 A phan glybu Jonathan eiriau Apolonius, efe a gyffrôdd yn ei feddwl, ac a etholodd ddeng mil o wŷr, ac a aeth allan o Jerusalem; a'i frawd Simon a gyfarfu ag ef yn help iddo ef.

75 Ac efe a wersyllodd yn erbyn Joppe; eithr hwy a'i cadwasant ef allan o'r ddinas, am fod gwarcheidwaid Apolonius yn Joppe.

76 A hwy a ryfelasant yn ei herbyn hi; a'r rhai oedd o'r ddinas a ofnasant, ag a agorasant: a Jonathan a ynillodd Joppe.

77 A phan glybu Apolonius hyn, efe a gymmerodd dair mil o wŷr meirch, a llu mawr o *wŷr traed,* ac a aeth i Azotus, megis un ar ei daith: ac efe a ‡ ddaeth â'i lu i'r maes, am fod ganddo lawer o wŷr meirch, yn y rhai yr oedd efe yn ymddiried. *‡ a'i denodd ef.*

78 Yna Jonathan a ddilynodd ar ei ol ef i Azotus, lle y cydiodd y ddau lu mewn rhyfel o'i ol ef.

79 Ac Apolonius a adawsai fil o wŷr meirch mewn cynllwyn o'u hol hwynt.

80 A Jonathan a wybu fod cynllwyn o'i ol ef, a hwy a amgylchasent ei lu ef, ac a daflasent bicellau yn erbyn y bobl, o fore hyd hwyr.

81 A'r bobl a safodd fel yr archodd Jonathan; a'u meirch hwythau a flinasant.

82 Simon hefyd a ddug allan ei lu yntau, ac a gydiodd â'r fyddin, (canys y meirch a flinasent,) a hwy a orchfygwyd ganddo, ac a ffoisant.

83 A'r gwŷr meirch a wasgarwyd ar hyd y maes, ac a ffoisant i Azotus, ac a ddaethant i Beth-Dagon, i deml eu heilun, i fod yn gadwedig.

84 A Jonathan a losgodd Azotus, a'r dinasoedd o'i hamgylch hi, ac a gymmerodd eu hyspail hwynt: teml Dagon hefyd, a'r rhai a ffoisent iddi, a losgodd efe â thân.

85 A'r rhai a laddwyd â'r cleddyf, ynghyd â'r rhai a losgwyd â thân, oedd hyd yn wyth mil o wŷr.

86 A Jonathan a aeth oddi yno, ac a wersyllodd wrth Ascalon; a'r rhai oedd o'r ddinas a ddaethant allan i'w gyfarfod ef â gogoniant mawr.

87 A Jonathan a ddychwelodd i Jerusalem, a'r rhai oedd gyd ag ef, a chanddynt yspail fawr.

88 A phan glybu y brenhin Alexander y pethau hyn, efe a roddes fwy o anrhydedd i Jonathan.

89 Ac efe a anfonodd iddo fwcl aur, fel y mae yr arfer roddi i geraint y brenhin, ac a roddes iddo Accaron a'i holl gyffiniau mewn meddiant.

## PEN. XI.

12 *Ptolemeus yn dwyn ei ferch oddi ar Alexander, ac yn gosod ar ei deyrnas ef.* 17 *Lladd Alexander, a Ptolemeus yn marw o fewn tridiau.* 20 *Jonathan yn gwarchae ar y tŵr yn Jerusalem.* 26 *Yr Iuddewon ac yntau yn cael parch mawr gan Ddemetrius,* 48 *A'r Iuddewon yn ei achub yntau rhag ei ddeiliaid ei hun yn Antiochia.* 61 *Ei wroliaeth ef mewn amryw leoedd.*

A Brenhin yr Aipht a gasglodd lu mawr, fel y tywod sydd ar lân y môr, a llongau lawer, ac a geisiodd gael teyrnas Alexander trwy dwyll, a'i gosod at yr eiddo ei hun. 146.

2 Ac efe a aeth allan i Syria mewn modd heddychol, a'r rhai oedd yn y dinasoedd a agorasant iddo ef, ac a aethant i'w gyfarfod ef; am fod gorchymyn y brenhin Alexander ar gyfarfod ag ef, am ei fod efe yn chwegrwn iddo ef.

3 Ac yn awr, fel yr aeth Ptolemeus i mewn i'r dinasoedd, efe a osododd lu i warchod ym mhob dinas.

4 A phan ddaeth efe yn agos i Azotus, hwy a ddangosasant iddo ef deml Dagon, yr hon a losgasid, ac Azotus a'i phentrefydd wedi eu difetha, a'r cyrph a daflasid allan, a'r rhai llosgedig a losgasai

*Jonathan* yn y rhyfel; o blegid hwy a wnaethant bentyrrau o honynt ar ei ffordd ef.

5 Felly y mynegasant i'r brenhin yr hyn a wnaethai Jonathan, i'w oganu ef. A thewi a wnaeth y brenhin.

6 A Jonathan a ddaeth i gyfarfod â'r brenhin i Joppe yn ogoneddus, a hwy â gyfarchasant well i'w gilydd, ac â gysgasant yno.

7 A Jonathan a aeth gyd â'r brenhin hyd at yr afon a elwir Eleutherus, ac a ddychwelodd i Jerusalem.

8 A'r brenhin Ptolomeus a gafodd feddiant ar ddinasoedd y môr-dir, hyd Seleucia ar lân y môr, ac a ddychymmygodd gynghorion drwg yn erbyn Alexander.

9 Ac efe a anfonodd genhadau at y brenhin Demetrius, gan ddywedyd, Tyred, gwnawn gyfammod rhyngom: ac mi a roddaf i ti fy merch sydd gan Alexander, a thi a gei deyrnasu yn nheyrnas dy dad.

10 O blegid y mae yn edifar gennyf roddi o honof fy merch iddo ef: canys efe a geisiodd fy lladd i.

11 Felly efe a'i goganodd ef, am ei fod efe yn chwennychu ei frenhiniaeth ef.

12 Ac efe a ddug ei ferch oddi arno ef, ac a'i rhoddes i Ddemetrius, ac efe a ymddieithrodd oddi wrth Alexander: felly yr ymddangosodd eu † cas hwynt.

† gelyniaeth.

13 Yna yr aeth Ptolomeus i Antiochia, ac a osododd ddwy goron ar ei ben; coron Asia, a choron yr Aipht.

14 A'r brenhin Alexander oedd yn Cilicia yn yr amser hwnnw: o blegid y rhai oedd o'r lle hwnnw a wrthryfelasent.

15 A phan glybu Alexander, efe a ddaeth
145. yn ei erbyn ef i ryfel: a'r brenhin Ptolomeus a arweiniodd *ei lu* allan, ac a gyfarfu ag ef â llaw gref, ac a'i gyrrodd i ffoi.

16 Yna y ffodd Alexander i Arabia i gael swcr yno. A'r brenhin Ptolomeus a ddyrchafwyd.

17 A Zabdiel yr Arabiad a gymmerodd ymaith ben Alexander, ac a'i hanfonodd i Ptolomeus.

18 A'r brenhin Ptolomeus a fu farw y trydydd dydd ar ol hynny: a'r rhai oedd yn ei gestyll ef a ‡ ddifethwyd gan y rhai oedd o fewn y cestyll.

‡ *laddwyd y naill gan y llall.*

19 A theyrnasodd Demetrius y seithfed flwyddyn a thrugain a chant.

20 Yn y dyddiau hynny y casglodd Jonathan y rhai oedd o Judea, i ynnill y tŵr yn Jerusalem: ac efe a wnaeth yn ei erbyn lawer o offer rhyfel.

21 Yna yr aeth rhai gwŷr annuwiol, y rhai oedd yn casâu eu cenedl eu hun, at y brenhin, ac a fynegasant iddo fod Jonathan yn gwarchae ar y tŵr.

22 Pan glybu yntau, efe a ddigiodd; a chyn gynted ag y clybu efe a gymmerodd ei daith yn ebrwydd, ac a ddaeth i Ptolemais, ac a 'sgrifenodd at Jonathan na warchaeai efe *mwy*, ac ar ddyfod o hono yn fuan i'w gyfarfod ef, i ymddiddan ynghŷd yn Ptolemais.

23 Ond pan glybu Jonathan, efe a archodd warchae, ac a ddewisodd *rai* o henuriaid Israel, ac o'r offeiriaid, ac a ymroddes i'r perygl.

24 Ac efe a gymmerodd aur, ac arian, a gwisgoedd, a llawer o anrhegion eraill, ac a aeth at y brenhin i Ptolemais, ac a gafodd ffafr yn ei olwg ef.

25 A [a] rhai annuwiol o'r genedl a achwynasant rhagddo ef.

a Pen. 10. 61, &c.

26 Eithr y brenhin a wnaeth iddo ef fel y gwnaethai y rhai a fuasai o'i flaen ef, ac efe a'i dyrchafodd ef o flaen ei holl garedigion.

27 Ac efe [b] a sicrhaodd iddo ef yr Archoffeiriadaeth, a pha anrhydedd bynnag oedd ganddo ef o'r blaen, ac a wnaeth ei gyfrif ef yn un o'i garedigion pennaf.

b Pen. 10. 20. a 14. 38. Adn. 57.

28 Yna y dymunodd Jonathan ar y brenhin wneuthur Judea yn ddidreth, a'r tair talaith ynghŷd â Samaria: ac efe a addawodd iddo ef dri chant o dalentau.

29 A'r brenhin oedd foddlon, ac a 'sgrifenodd lythyrau at Jonathan am hyn oll, fel hyn;

30 Y brenhin Demetrius yn cyfarch gwell i'w frawd Jonathan, a chenedl yr Iuddewon.

31 Copi o'r llythyr a 'sgrifenasom ni at ein câr Lasthenes yn eich cylch chwi, a 'sgrifenasom attoch chwi hefyd, fel y gallech ei weled.

32 Y brenhin Demetrius at ei dad Lasthenes, yn anfon annerch.

33 Y mae yn ein bryd ni wneuthur daioni i genedl yr Iuddewon, ein caredigion, y rhai sydd yn cadw cyfammodau â nyni, am eu hewyllys da i ni.

34 § Yr ydym ni wedi sicrhâu iddynt gyffiniau Judea â'r tair talaith, Apherema, Lyda, a Ramathem, y rhai a 'chwanegwyd o Samaria at Judea, [c] a'r hyn oll sydd yn perthynu iddynt, i'r rhai oll sydd yn aberthu yn Jerusalem, yn lle'r ardreth yr oedd y brenhin yn ei gael o'r blaen o gnwd y ddaear, a ffrwyth y coed, bob blwyddyn ganddynt hwy.

§ Jos. Ant. l. 13. c. 8.
c Pen. 10. 42.

35 A phethau eraill yn perthynu i ni o ddegymmau a theyrn-ged dyledus i ni, a'r [d] pyllau halen, a threth y goron, y rhai sydd yn perthyn i ni, nyni a'u caniattâwn iddynt hwy i gŷd.

d Pen. 10. 29.

36 A dim o hyn ni ddiddymmir o hyn allan byth.

37 Am hynny cymmerwch ofal am wneuthur copi o'r pethau hyn, a rhodder ef at Jonathan, a gosoder ef yn y mynydd sanctaidd, mewn lle cyfleus hynod.

38 Yna pan welodd Demetrius fod yr holl dir o'i flaen ef yn llonydd, ac nad oedd dim yn ei wrthwynebu ef, efe a ollyngodd ei holl lu bob un i'w fangre, ond y dieithrluoedd y rhai a gasglasai efe o ynysoedd y cenhedloedd. Am hynny holl luoedd ei dadau a aethant yn elynion iddo ef.

39 Yr oedd un Tryphon hefyd yr hwn a fuasai ar du Alexander o'r blaen, pan welodd efe fod yr holl luoedd yn grwgnach yn erbyn Demetrius, efe a aeth at Simalcue yr Arabiad, yr hwn a fagasai Antiochus, mab ieuangc Alexander;

40 Ac efe a fu daer arno ef, ar iddo roddi *Antiochus ieuangc* atto ef, fel y teyrnasai yn lle ei dad. Ac efe a ddangosodd iddo ef pa bethau a wnaethai Demetrius, a'r cas oedd gan ei lu iddo ef. Ac efe a arhosodd yno ddyddiau lawer.

41 A Jonathan a anfonodd lythyrau at y brenhin Demetrius, am fwrw allan o Jerusalem y rhai oedd yn y castell, a'r rhai oedd yn yr amddiffynfeydd: o blegid yr oeddynt hwy yn rhyfela yn erbyn Israel.

42 A Demetrius a anfonodd at Jonathan, gan ddywedyd, Nid hyn yn unig a wnaf fi erot ti a'th genedl, eithr mi a'th anrhy-

deddaf di a'th genedl ag anrhydedd, os caf fi gyfle.

43 Yn awr gan hynny ti a wnei yn dda, os anfoni di wŷr i ryfela gyd â mi: o blegid fy holl luoedd a'm gadawsant i.

44 A Jonathan a anfonodd iddo ef i Antiochia, dair mil o wŷr cedyrn o nerth: A hwy a ddaethant at y brenhin, a llawen iawn fu gan y brenhin eu dyfodiad hwy.

45 A'r rhai oedd o'r ddinas a ddaethant ynghŷd i ganol y ddinas, ynghylch deuddeng myrddiwn o wŷr, ac a fynnasent ladd y brenhin.

46 Yna y ffodd y brenhin i'r llys: a'r rhai oedd o'r ddinas a gadwasant ffyrdd y ddinas, ac a ddechreuasant ymladd.

47 A'r brenhin a alwodd yr Iuddewon i'w helpu; a hwy a ddaethant atto ef oll ar unwaith, ac a ymwasgarasant ar hŷd y ddinas, ac a laddasant y dydd hwnnw yn y ddinas hyd yn neg myrddiwn.

48 A hwy a losgasant y ddinas, ac a gymmerasant yspail fawr y dydd hwnnw, ac a achubasant y brenhin.

49 A'r rhai o'r ddinas a welsant i'r Iuddewon ennill y ddinas fel y mynnent, a hwy a lwfrhasant, ac a waeddasant wrth y brenhin mewn gweddi, gan ddywedyd,

50 † Cymmod â ni, a pheidied yr Iuddewon â rhyfela i'n herbyn ni a'r ddinas.

51 Felly hwy a fwriasant ymaith eu harfau, ac a wnaethant heddwch. A'r Iuddewon a gawsant anrhydedd o flaen y brenhin a phawb yn ei deyrnas ef, ac a ddychwelasant i Jerusalem a chanddynt yspail fawr.

52 Felly y brenhin Demetrius a eisteddodd ar orseddfaingc ei frenhiniaeth, a'r wlad a fu lonydd o'i flaen ef.

53 Eithr efe a ddywedodd gelwydd am beth bynnag a ddywedasai efe, ac a ymddïeithrodd oddi wrth Jonathan, ac ni thalodd adref yr ewyllys da a dalasai ef iddo, eithr efe a'i cystuddiodd ef yn ddirfawr.

54 Wedi hyn y dychwelodd Tryphon a'r bachgen ieuangc Antiochus gyd ag ef; ac efe a deyrnasodd, ac a wisgodd y goron.

55 A'r holl luoedd y rhai a wasgarasai Demetrius a ymgasglasant atto ef; a hwy a ryfelasant yn ei erbyn ef, ac yntau a ffodd ac a giliodd.

56 Yna Tryphon a gymmerodd yr ‡ anifeiliaid, ac a ennillodd Antiochia.

57 Ac Antiochus ieuangc a 'sgrifenodd at Jonatham, gan ddywedyd, Yr ydwyf fi yn sicrhâu'r Arch-offeiriadaeth i ti, ac yn dy osod ar y pedair talaith, ac i fod yn un o garedigion y brenhin.

58 Ac efe a anfonodd lestri aur iddo ef i'w wasanaethu, ac a roddes iddo awdurdod i yfed mewn llestri aur, ac i fod mewn porphor, ac i wisgo bwcl aur.

59 Ac efe a osododd Simon ei frawd ef yn gapten, § o riw Tyrus hyd derfynau'r Aipht.

60 A Jonathan a aeth allan ‖ dros yr afon, a thrwy'r dinasoedd; a holl luoedd Syria a ymgasglasant atto ef yn help iddo. Ac efe a ddaeth i Ascalon; a'r rhai oedd o'r ddinas a aethant i'w gyfarfod ef yn anrhydeddus.

61 Ac efe a ddaeth oddi yno i Gaza; a'r rhai o Gaza a gauasant arnynt. Yntau a warchaeodd arni, ac a losgodd † ei phentrefydd hi, ac a'u hanrheithiodd hwynt.

62 A'r rhai o Gaza a ymbiliasant â Jonathan, ac efe a ‡ wnaeth heddwch â hwynt, ac a gymmerodd feibion eu tywysogion hwynt yn wystlon, ac a'u hanfonodd hwynt i Jerusalem, ac a rodiodd y wlad hyd Ddamascus.

63 A phan glybu Jonathan ddyfod tywysogion Demetrius i Cades, yr hon sydd yn Galilea, â llu mawr, ar fedr ei § yrru ef ymaith o'r wlad,

64 Yntau a aeth i'w cyfarfod hwynt, ac a adawodd ei frawd Simon yn y wlad.

65 A Simon a wersyllodd wrth Bethsura, ac a ryfelodd yn ei herbyn ddyddiau lawer, ac a gauodd arni hi.

66 A hwy a ddymunasant gael heddwch, ac efe a'i canhiadodd iddynt, ac a'u bwriodd hwynt allan oddi yno, ac a gymmerodd y ddinas, ac a osododd warcheidwaid ynddi.

67 Jonathan hefyd a'i lu a wersyllasant wrth ddyfroedd Genesar; a hwy a godasant yn fore i *ddyfod* i faes Nasor.

68 Ac wele, gwersyll y dïeithriaid a ddaethant i'w gyfarfod ef yn y maes; a hwy a yrrasant gynllwyn yn ei erbyn ef yn y mynyddoedd, ac a ddaethant eu hunain ar ei gyfer ef.

69 Yna y cynllwynwŷr a gyfodasant o'u lle, ac a gydiasant ryfel; a'r rhai oedd gyd â Jonathan a ffoisant.

70 Ni adawyd un o honynt ond Mattathias *fab* Absalom, a Judas *fab* Calphi, tywysogion milwriaeth y lluoedd.

71 A Jonathan a rwygodd ei ddillad, ac a daflodd lwch ar ei ben, ac a weddïodd.

72 Ond efe a drodd yn eu herbyn hwynt yn y rhyfel, ac a'u gyrrodd hwy i ffo; a hwy a redasant ymaith.

73 A'r rhai a ffoisant oddi wrtho ef a welsant, ac a droisant atto ef, ac a'u herlidiasant hwynt gyd ag ef hyd Cades, hyd at eu gwersyll hwynt; a hwy a wersyllasant yno.

74 Ac fe laddwyd o'r dïeithriaid y dydd hwnnw hyd yn nheir-mil o wŷr. A Jonathan a ddychwelodd i Jerusalem.

## PEN. XII.

1 *Jonathan yn adnewyddu ei heddwch â'r Rhufeiniaid, a'r Lacedemoniaid.* 28 *Llu Demetrius, wrth amcanu rhyfela â Jonathan, yn ffoi rhag ofn.* 35 *Jonathan yn cadarnhâu'r cestyll yn Judea,* 48 *a chau arno ef yn Ptolemais, trwy dwyll Tryphon.*

A Jonathan a welodd fod yr amser yn gwasanaethu iddo ef, ac a etholodd wŷr, ac a anfonodd i Rufain i wneuthur ac i adnewyddu cyfeillach â hwynt.

2 At y Spartiaid hefyd, ac i leoedd eraill, yr anfonodd efe lythyrau ar yr un destyn.

3 A hwy a aethant i Rufain, ac a ddaethant i'r cynghordy, ac a ddywedasant, Jonathan yr Arch-offeiriad, a chenedl yr Iuddewon a'n hanfonodd ni attoch chwi i adnewyddu y gyfeillach a'r gyd-ymdeithas a fu o'r blaen.

4 A'r Rhufeinwŷr a roddasant iddynt hwy lythyrau at y † bobl o le i le, ar fod iddynt eu hanfon hwy i dir Judea yn heddychlon.

5 Dyma hefyd gopi o'r llythyr a 'sgrifenodd Jonathan at y Spartiaid.

6 Jonathan yr Arch-offeiriad, a Henuriaid y genedl, a'r Offeiriaid, a'r rhan arall o bobl yr Iuddewon yn cyfarch gwell i'r brodyr y Spartiaid.

† *Canhiada heddwch i ni.*
‡ *Elephantiaid.*
§ *o'r fan a elwir ysgol Tyrus, &c.*
‖ *trwy y dinasoedd y tu hwnt i'r afon.*
† *y lleoedd o bob tu.*
‡ *roddes y ddeheulaw iddynt. Gr.*
§ *symmud ef oddiwrth negesau y deyrnas.*
† *Llywodraethwŷr.*

7 Cyn hyn yr anfonwyd llythyrau at yr Arch-offeiriad Onïas oddi wrth ‡ Ddarïus, yr hwn oedd yn frenhin arnoch chwi, mai ein brodyr ni ydych chwi, fel y mae y copi isod yn cynnwys.

‡ *Areus*, Edrych Jos. Ant. l. 13. c. 8.

8 Ac Onïas a dderbyniodd y gwr a anfonasid, yn anrhydeddus, ac a dderbyniodd y llythyrau yn y rhai yr hyspysasid am gyfeillach a chyd-ymdeithas.

9 Felly ninnau, er nad yw raid i ni wrth hyn, am fod gennym yn gysur y llyfrau sanctaidd sydd yn ein dwylaw,

10 A dybiasom yn dda anfon attoch chwi i adnewyddu brawdoliaeth, a chyfeillach, rhag i ni fyned yn ddïeithr i chwi: o blegid llawer o amser a aeth heibio, er pan anfonasoch attom ni.

11 Am hynny yr ydym ni bob amser yn ddibaid, ar y gwyliau a'r dyddiau cymmwys eraill, yn eich cofio chwi, yn yr aberthau yr ydym yn eu hoffrymmu, ac yn ein gweddïau, megis y mae yn weddaidd, ac yn gymmwys cofio brodyr.

12 Ac yr ydym ni yn llawen am eich anrhydedd chwi.

13 Am danom ni, llawer o drallod, a rhyfeloedd lawer, a'n hamgylchynasant ni, a'r brenhinoedd o'n hamgylch a ryfelasant i'n herbyn.

14 Nid oeddym ni er hynny yn ewyllysio eich blino chwi yn y rhyfeloedd hyn, na'n cyd-ymdeithion a'n cyfeillion eraill:

15 O herwydd y mae gennym ni gymmorth o'r nef, yr hwn sydd yn ein cymmorth ni; ac ni a waredwyd oddi wrth ein gelynion, a'n gelynion a ostyngwyd.

16 Am hynny ni a etholasom Numenius fab Antiochus, ac Antipater fab Jason, ac a'u hanfonasom at y Rhufeiniaid, i adnewyddu â hwynt y gyfeillach a'r gymdeithas a fuasai o'r blaen.

17 Felly y gorchymynasom iddynt hefyd ddyfod attoch chwithau, a'ch cyfarch, a rhoddi i chwi ein llythyrau ni am adnewyddu ein brawdoliaeth ni.

18 Ac yr awr hon chwi a wnewch yn dda ar atteb i ni am hyn.

19 A dyma gopi y llythyrau a anfonodd ‡ Oniares.

‡ Darllen allan o Jos. *y rhai a anfonodd Areus at Onïas.*

20 Areus brenhin y Spartiaid yn cyfarch gwell i Onïas yr Arch-offeiriad.

21 Yr ydys yn cael mewn ysgrifen am y Spartiaid a'r Iuddewon, mai brodyr ydynt hwy, a'u bod o genedl Abraham.

22 Ac yn awr, gan i ni wybod hyn, da y gwnewch ysgrifenu attom ni am eich § heddwch.

§ *llwyddiant.*

23 Yr ydym ninnau yn ysgrifenu attoch chwithau, eich anifeiliaid chwi a'ch golud sydd eiddom ni, a'r eiddom ninnau yn eiddoch chwi: ac yr ydym ni yn gorchymyn i'n *cenhadon ni* iddynt hwy fynegi i chwi fel hyn.

24 A Jonathan a glybu ddychwelyd tywysogion Demetrius â llu mwy nâ 'r cyntaf, i ryfela yn ei erbyn ef,

25 Ac efe a aeth allan o Jerusalem, ac a aeth i gyfarfod â hwynt i wlad Amathis: ac ni roddes efe iddynt yspaid i ‖ ddyfod i'w wlad ef.

‖ *sengi o fewn.*

26 Ac efe a anfonodd yspïwŷr i'w gwersyll hwynt; a hwy a ddychwelasant, ac a fynegasant iddo eu bod hwy yn amcanu rhuthro arnynt hwy liw nos.

27 A Jonathan, pan fachludodd haul, a archodd i'r rhai oedd gyd ag ef wylied, a bod mewn arfau, i fod yn barod i ryfel ar hŷd y nos; ac efe a osododd ragwylwŷr o amgylch y gwersyll.

28 A'r gwrthwynebwŷr a glywsant fod Jonathan a'r rhai oedd gyd ag ef, yn barod i ryfel, ac a ofnasant, ac a ddychrynasant yn eu calon, ac a † gynneuasant dân yn eu gwersyll.

† Jos. Ant. l. 13. c. 9. *aethant ymaith o'r.*

29 Ond Jonathan a'r rhai oedd gyd ag ef, ni wybuant hyd y bore: o blegid hwy a welent dân yn llosgi.

30 A Jonathan a ymlidiodd ar eu hol hwynt, ac ni's goddiweddodd hwynt: o blegid hwy a aethant dros yr afon Eleutherus.

31 Yna y trodd Jonathan yn erbyn yr Arabiaid, y rhai a elwid y ‡ Zabadiaid ac a'u tarawodd hwynt, ac a gymmerodd eu hyspail hwynt.

‡ Jos. Gr. *Nabatheaid, neu, Zabatheaid.*

32 Ac efe a fudodd, ac a ddaeth i Ddamascus, ac a rodiodd trwy 'r holl wlad.

33 Simon hefyd a aeth allan, ac a dramwyodd trwy 'r wlad hyd Ascalon, a'r cestyll oedd gyfagos, ac a drodd i Joppe, ac a'i hynnillodd hi.

34 O herwydd efe a glywsai eu bod hwy yn amcanu rhoddi 'r castell i fynu i'r rhai oedd o du Demetrius; ac efe a osododd yno warcheidwaid i'w gadw ef.

35 A Jonathan a ddychwelodd, ac a gasglodd henuriaid y bobl, ac a ymgynghorodd â hwynt am adeiladu § cestyll yn Judea,

§ *amddiffynfeydd.*

36 Ac am godi caerau Jerusalem, a chodi ‖ uchder mawr rhwng y tŵr a'r ddinas, i wahanu rhyngddo ef a'r ddinas, i fod o hono o'r neilldu, fel na phrynent hwy, ac na werthent *yno.*

‖ *brynn.*

37 A phan ddaethant hwy ynghŷd i adeiladu 'r ddinas, † efe a aeth i'r môr *nesaf* i'r aber o du 'r dwyrain: a hwy a adeiladasant yr hyn a elwir Caphenatha.

† *o herwydd bod rhan o'r mur, tu a'r afon, o du y dwyrain, wedi syrthio.*

38 A Simon a adeiladodd Adida yn Sephela, ac a'i cadarnhaodd â phyrth ac â barrau.

39 Tryphon hefyd a geisiodd deyrnasu yn Asia, a gwisgo 'r goron, ac estyn ei law yn erbyn y brenhin Antiochus.

40 Ond efe a ofnodd na adawai Jonathan, a rhag iddo ryfela yn ei erbyn ef, efe a geisiodd ffordd i'w ddàl ef i'w ddifetha. Am hynny efe a gododd, ac a aeth i Bethsan.

41 A Jonathan a aeth allan i gyfarfod ag ef â deugain mil o wŷr wedi dethol i ryfel, ac a ddaeth i Bethsan.

42 A phan welodd Tryphon ei ddyfod ef â llu mawr, efe a ofnodd estyn ei law yn ei erbyn ef.

43 Am hynny efe a'i derbyniodd ef yn anrhydeddus, ac a'i canmolodd ef wrth ei holl garedigion, ac a roddes iddo roddion, ac a archodd i'w holl garedigion ufuddhâu iddo ef megis iddo ynttau ei hun.

44 Ac efe a ddywedodd wrth Jonathan, I ba beth y blinaist ti y bobl hyn oll heb fod rhyfel rhyngom ni?

45 Yr awr hon gan hynny anfon y rhai hyn i'w tai, ac ethol i ti ychydig wŷr, y rhai a fyddant gyd â thi, a thyred gyd â myfi i Ptolemais; ac mi a'i rhoddaf hi i ti, a'r cestyll eraill, a'r lluoedd eraill, a'r swyddogion. A mi a ddychwelaf, ac a af ymaith: canys o achos hyn y daethum i yma.

46 Yntau yn ei gredu ef, a wnaeth fel y dywedodd efe, ac a anfonodd ymaith ei lu; a hwy a aethant i dir Judea.

47 Ac efe a adawodd gyd ag ef dair mil o wŷr, o ba rai efe a † adawodd ddwy fil ‡ yn Galilea, a mil a aeth gyd ag ef.

† *anfonodd.* ‡ *i.*

48 Er cynted y daeth Jonathan i Ptolemais, y Ptolemaiaid a gauasant y pyrth, ac a'i daliasant ef, ac a laddasant â'r cleddyf y rhai oll a ddaethai i mewn gyd ag ef.

49 Yna yr anfonodd Tryphon lu, a gwŷr meirch i dir Galilea, ac i'r maes mawr, i ddifetha y rhai oedd ar du Jonathan.

50 Eithr pan wybuant hwy ei ddal § ef, a difetha y rhai oedd gyd ag ef, hwy a ymgysurasant, ac a aethant ynghŷd, yn barod i ryfel.

§ *Jonathan.*

51 Felly pan welodd y rhai oedd yn canlyn arnynt eu bod hwy yn barod i ymladd am eu heinioes, hwy a ddychwelasant.

52 Hwythau a ddaethant oll i wlad Judea yn ddïangol, ac a alarasant am Jonathan, a'r rhai oedd gyd ag ef, a hwy a ofnasant yn ddirfawr; ac Israel oll a alarasant alar mawr.

53 A'r holl genhedloedd o amgylch a geisiasant eu difetha hwynt: canys hwy a ddywedasant, Nid oes ganthynt na thywysog na neb i'w helpu: am hynny rhyfelwn yn eu herbyn hwynt yn awr, a dilëwn eu coffadwriaeth o blith dynion.

## PEN. XIII.

8 *Gwneuthur Simon yn bennaeth yn lle Jonathan ei frawd.* 19 *Tryphon yn cael gafael ar ddau o feibion Jonathan, ac yn lladd eu tad hwy.* 27 *Bedd Jonathan.* 36 *Simon yn cael ffafr gan Ddemetrius,* 43 *ac yn ennill Gaza, a'r tŵr yn Jerusalem.*

PAN glybu Simon gasglu o Tryphon lu mawr i ddyfod i wlad Judea i'w difetha hi,

2 A gweled fod y bobl yn ddychrynedig, ac yn ofnus iawn, efe a aeth i fynu i Jerusalem, ac a gasglodd y bobl ynghŷd;

3 Ac efe a'u cysurodd hwynt, ac a ddywedodd wrthynt, Chwi a wyddoch eich hunain pa bethau eu maint a wneuthum i, a'm brodyr, a thŷ fy nhad dros y gyfraith, a'r Cyssegr; a'r rhyfeloedd, a'r ing a welsom ni.

4 O achos hyn y lladdwyd fy mrodyr i oll er mwyn Israel, a mi a adawyd fy hunan.

5 Ac yr awr hon na atto Duw i mi arbed fy einioes yn amser cystudd: o blegid nid ydwyf fi well nâ'm brodyr.

6 Eithr mi a ddïalaf fy nghenedl, a'r Cyssegr, † a'ch gwragedd a'ch plant chwi: o blegid yr holl genhedloedd a ymgasglasant i'n difetha ni o wir elyniaeth.

† *a'n gwragedd a'n plant ni.*

7 Ac yspryd y bobl a adfywiodd er cynted y clywsant y geiriau hyn.

8 A hwy a attebasant â llef uchel, gan ddywedyd, Tydi yw ein capten ni yn lle Judas a Jonathan dy frodyr.

9 Rhyfela ein rhyfel ni, a pha beth bynnag a ddywedech di wrthym, ni a'i gwnawn.

10 Yntau a gasglodd yr holl ryfelwŷr, ac a frysiodd [a] i orphen caerau Jerusalem, ac a'i cadarnhaodd hi o amgylch.

[a] Edrych Pen. 12. 36.

11 Ac efe a anfonodd Jonathan *fab* Absolom â llu mawr gyd ag ef i Joppe; ac efe a fwriodd allan y rhai oedd ynddi hi, ac efe a arhôdd yno ynddi hi.

12 A Thryphon a symmudodd o Ptolemais â llu mawr i fyned i mewn i dir Judea; a Jonathan gyd ag ef yngharchar.

13 A Simon a wersyllodd yn Adida ar gyfer y ‡ maes.

‡ *gwastadedd.*

14 Pan wybu Tryphon godi Simon yn lle Jonathan ei frawd, ac y cydiai efe mewn rhyfel ag ef, efe a anfonodd genhadau atto ef, gan ddywedyd,

15 Am yr arian oedd ddyledus ar Jonathan dy frawd i drysor y brenhin, am y § swyddau oedd ganddo ef, y daliasom ni ef.

§ *pethau a orchymynasid iddo ef.*

16 Yr awr hon gan hynny anfon gan talent o arian, a dau o'i feibion ef yn wystlon, fel pan ollynger ef, na chilio efe oddi wrthym ni, ac ni a'i gollyngwn ef.

17 Ac er bod Simon yn gwybod mai yn dwyllodrus yr oeddynt yn ymddiddan; etto efe a anfonodd yr arian a'r ddau fachgen, rhag iddo gael cas mawr gan y bobl;

18 Y rhai a ddywedent, Am na anfonodd efe yr arian a'r bechgyn, y darfu am *Jonathan.*

19 Am hynny efe a anfonodd y bechgyn a'r cân talent. Yntau *Tryphon* a fu gelwyddog, ac ni ollyngodd Jonathan ymaith.

20 Ac wedi hyn y daeth Tryphon i fyned yn erbyn y wlad ac i'w difetha hi, ac efe a aeth o amgylch y ffordd sydd yn arwain i Adora. A Simon a'i lu a aethant yn ei erbyn ef, i bob lle a'r yr ai yntau iddo.

21 A'r rhai oedd yn y tŵr a anfonasant at Tryphon genhadau, i beri iddo frysio i ddyfod attynt hwy trwy 'r diffaethwch, ac i yrru iddynt hwy ymborth.

22 Yna y parottôdd Tryphon ei wŷr meirch i ddyfod; a'r noson honno y bu eira mawr iawn, ac ni ddaeth efe o blegid yr eira. Ac efe a ymadawodd, ac a aeth i wlad Galaad.

23 A phan nesaodd efe at Bascama, efe a laddodd Jonathan: ac yno y claddwyd ef.

24 Yna y dychwelodd Tryphon, ac yr aeth i'w wlad ei hun.

25 A Simon a yrrodd, ac a gymmerodd 143.
esgyrn ei frawd Jonathan, a hwy a'i claddasant ym Modin, dinas ei hynafiaid ef.

26 Ac [b] Israel oll a alarasant am dano ef â galar mawr, ie hwy a alarasant am dano ef ddyddiau lawer.

[b] Pen. 9. 29.

27 A Simon a wnaeth adeiladaeth ar fedd ei dad a'i frodyr, ac a'i gwnaeth yn uchel mewn golwg, â cherrig nadd yn ol ac ym mlaen.

28 Ac efe a osododd heb law hynny saith pyramides, y naill ar gyfer y llall, i'w dad, a'i fam, a'i bedwar brawd.

29 Ac yn y rhai hyn efe a wnaeth ddychymygion celfydd, ac a osododd golofnau mawrion o amgylch, ac ar y colofnau efe a wnaeth arfau yn goffadwriaeth tragywyddol, a chyd â'r arfau longau cerfiedig i'w gweled gan bawb a fordwyent y môr.

30 Dyma 'r bedd a wnaeth efe ym Modin, ac y mae yn sefyll hyd y dydd hwn.

31 A Thryphon a wnaeth yn dwyllodrus ag Antiochus y brenhin ieuangc, ac a'i laddodd ef.

32 Ac efe a deyrnasodd yn ei le ef, ac a
wisgodd goron Asia, ac a wnaeth ddialedd
mawr yn y wlad.
33 A Simon a adeiladodd y cestyll yn
Judea, ac a'u cadarnhaodd hwynt â thy-
rau uchel, ac â chaerau mawrion, ie â thy-
rau, ac â phyrth, ac a chloiau; ac efe a oso-
† yn y cestyll. dodd ymborth † ynddynt.
34 Simon hefyd a etholodd wŷr, ac a'u
hanfonodd at y brenhin Demetrius, i geisio
‡ hyn oll a wnaeth Tryphon oedd i ysbeilio. gollwng y wlad yn rhŷdd: o blegid ‡ yspail
oedd holl weithredoedd Tryphon.
35 A'r brenhin Demetrius a anfonodd
atto yntau fel hyn, ac a'i hattebodd ef,
ac a 'sgrifenodd atto ef y llythyr hwn.
36 Y brenhin Demetrius yn cyfarch gwell
i Simon yr Arch-offeiriad, a charedig i fren-
hinoedd, a hefyd i henuriaid a chenedl yr
Iuddewon.
37 Nyni a dderbyniasom y goron aur, a'r
§ wisg ysgarlad. § maen gwerthfawr, y rhai a anfonasoch
chwi; ac yr ydym ni yn barod i wneuthur
heddwch â chwi, ac i 'sgrifenu at ein swy-
ddogion i sicrhâu y rhŷdd-fraint a ganiadha-
som ni.
38 A'r hyn oll a ordeiniasom ni tu ag
attoch chwi, hynny a saif: bydded y
cestyll â adeiladasoch chwi yn eiddoch
chwi.
39 Ac yr ydym ni yn maddeu pob amry-
fusedd a bai hyd y dydd hwn, a threth y
goron yr hon sydd yn ddyledus arnoch chwi:
ac os oedd teyrnged arall yn Jerusalem, na
choder hi mwy.
40 Ac od oes neb o honoch yn gymmwys
i'w 'sgrifenu ym mysg y rhai sy yn ein cylch
ni, ysgrifener hwy, a gwneler heddwch
rhyngom ni.
41 Y ddegfed flwyddyn a thrugain a chant
y tynnwyd ymaith iau y cenhedloedd oddi
ar Israel.
c Pen. 14. 27. 42 A phobl Israel a ddechreuasant c ys-
grifenu yn eu hysgrifenadau a'u || cyfnewi-
|| marchnadoedd. diadau, Y flwyddyn gyntaf i Simon yr
Arch-offeiriad mawr, tywysog a chapten yr
Iuddewon.
43 Yn y dyddiau hynny y gwersyllodd
*Simon* wrth Gaza, ac efe a'i hamgylchodd
hi â'i luoedd, ac efe a wnaeth ryfel-offeryn,
ac a'i nesaodd at y ddinas, ac a darawodd un
tŵr, ac a'i hynnillodd.
44 A'r rhai oedd yn y rhyfel-offeryn a
neidiasant i'r ddinas; ac fe wnaethpwyd
cynnwrf mawr yn y ddinas.
45 A'r rhai oedd yn y ddinas a aethant i
fynu ar y gaer gyd â'u gwragedd, a'u plant,
wedi rhwygo eu dillad, a hwy a waeddasant
† roddi ei ddeheulaw iddynt. â llef uchel, gan attolwg i Simon † ganhia-
dau heddwch iddynt.
46 A hwy a ddywedasant, Na wna â ni
yn ol ein drygioni, ond yn ol dy drugaredd
di.
47 A Simon a dosturiodd wrthynt, ac
ni ryfelodd mwy yn eu herbyn, eithr efe
a'u bwriodd hwynt allan o'r ddinas, ac a
lanhaodd y tai lle yr oedd eilunod, ac a
aeth i mewn iddi, dan ganu mawl a
diolch.
48 Ac efe a fwriodd allan bob aflendid
o honi hi, ac a osododd yno wŷr oedd yn
gwneuthur y gyfraith, ac a'i cadarnhaodd hi,
ac a adeiladodd ynddi breswylfod iddo ei
hun.
142. 49 Lluddiwyd hefyd i'r rhai oedd yn y
tŵr yn Jerusalem fyned allan, na dyfod
i'r wlad i brynu a gwerthu: ac yr oedd yn
flin arnynt o eisiau ymborth, a llawer o ho-
nynt a fu feirw o newyn.
50 A hwy a waeddasant ar Simon ar
|| roddi cymmod iddynt, ac efe a'i rhoddes || ganhiadu heddwch.
iddynt: ond efe a'u bwriodd hwynt allan,
ac a lanhaodd y tŵr oddi wrth halogedi-
gaeth.
51 Ac efe a aeth i mewn iddi hi y try-
dydd dydd ar hugain o'r ail mis, yn yr unfed
flwyddyn ar ddeg a thrugain a chant, â
§ mawl, ac â changhennau palmwŷdd, ac â § diolch.
thelynau, â symbalau, â nablau, ac â hym-
nau, ac ag odlau, am ddifetha gelyn mawr
allan o Israel.
52 Ac efe a ordeiniodd gadw y dydd hwn
yn llawen bob blwyddyn. Ac efe a gadarn-
haodd fynydd y Deml, yr hwn oedd yn
agos i'r tŵr, ac a arhosodd yno, efe a'r rhai
oedd gyd ag ef.
53 A phan welodd Simon fod ei fab Ioan
yn wr, efe a'i gosododd ef yn gapten ar yr
holl luoedd, ac d a breswyliodd yn Ga- d Pen. 16. 1.
zara.

## PEN. XIV.

3 *Brenhin Persia yn dala Demetrius.* 4 *Daioni Simon i'w wlad.* 18 *Y Lacedemoniaid a'r Rhufeiniaid yn adnewyddu eu heddwch ag ef.* 26 *Gosod coffa am ei weithredoedd ef yn Sion.*

AC yn y ddeuddegfed flwyddyn a thru- 141.
gain a chant y casglodd y brenhin
Demetrius ei luoedd, ac efe a aeth i Media
i gasglu iddo gymmorth, i ryfela yn erbyn
Tryphon.
2 Pan glybu Arsaces brenhin Persia a
Media ddyfod Demetrius o fewn ei derfy-
nau ef, efe a anfonodd un o'i dywysogion
i'w ddal ef yn fyw.
3 A hwnnw a aeth, ac a darawodd wer-
syll Demetrius, ac a'i daliodd ef, ac a'i dug
ef at Arsaces; ac yntau a'i rhoddes ef yng-
harchar.
4 A gwlad Judea * a gafodd lonydd holl * Pen. 7. 50.
ddyddiau Simon: canys efe a geisiodd
ddaioni i'w genedl, a boddlon oedd gan-
ddynt ei awdurdod ef a'i anrhydedd yr holl
amser.
5 Simon hefyd heb law ei holl ogoniant,
a ynnillodd Joppe yn borthladd, ac a wnaeth
ffordd i ynysoedd y môr.
6 Ac efe a helaethodd derfynau ei genedl,
ac a ynnillodd y wlad.
7 Hefyd efe a gasglodd gaeth-glud mawr,
ac a feddiannodd Gazara a Bethsura, a'r tŵr,
ac a dynnodd yr aflendid allan o hono ef;
ac nid oedd a safai yn ei erbyn ef.
8 Felly yr oeddynt hwy yn llafurio eu
tir yn heddychlon, a'r ddaear a roddes
ei chnwd, a choed y maes eu ffrwy-
thau.
9 Yr henuriaid a eisteddent yn yr heo-
lydd, am † ddaioni yr ymgynghorent hwy † gyfoeth y wlad.
oll, a'r gwŷr ieuaingc a wisgent ddillad par-
chedig a gwisgoedd rhyfel.
10 Efe a ddarparodd ymborth i'r dinas-
oedd, ac a osododd ynddynt bob offer ca-
dernid, hyd oni sonid am ei enw anrhy-
deddus ef hyd eithafoedd y ddaear.
11 Efe a wnaeth heddwch yn y wlad; ac
fe gafodd Israel lawenydd mawr:
12 b Pob un a eisteddai dan ei winwŷd- b 1 Bren. 4. 25.
den a'i ffigysbren, ac nid oedd a'u dychry- Mich. 4. 4.
nai hwynt. Zech. 3. 10.
13 Ni adawyd un yn y wlad i ryfela yn
eu herbyn hwynt: a'r brenhinoedd a ddiny-
striwyd yn y dyddiau hynny.

14 Hefyd efe a gadarnhaodd bob un da-
rostyngedig o'i bobl. Efe a chwiliodd al-
lan y gyfraith, ac a dynnodd ymaith bob
dŷn annuwiol a drygionus.
15 Efe a barchodd y Cyssegr, ac a aml-
haodd lestri 'r Cyssegr.
16 A hwy a glywsant yn Rhufain farw
Jonathan, a hyd Sparta hefyd, ac athrist
iawn fu ganddynt.
17 Ond pan glywsant hwy wneuthur Si-
mon ei frawd ef yn Arch-offeiriad yn ei le
ef, ac ynnill o hono ef y wlad a'r dinasoedd
oedd ynddi;
18 Hwy a 'sgrifenasant atto ef mewn
llechau pres, i adnewyddu ag ef y gyfeillach
a'r gyd-ymdeithas a wnaethant hwy â Judas,
ac â Jonathan ei frodyr ef.
19 A hwy a ddarllenwyd o flaen y gyn-
nulleidfa yn Jerusalem.
20 A dyma gopi y llythyrau a anfonodd
y Spartiaid; Tywysogion a dinas y Spart-
c Edrych iaid yn cyfarch yr Arch-offeiriad c Simon,
Pen. 12. 6. a'r henuriaid, a'r offeiriaid, a'r rhan arall
o'n brodyr, pobl yr Iuddewon.
21 Y Cenhadon a anfonwyd at ein pobl
ni, a fynegasant i ni am eich gogoniant,
a'ch parch chwi; a llawen fu gennym eu dy-
fodiad hwynt:
22 Ac ni a 'sgrifenasom yr hyn a ddywe-
dasant hwy, ym mysg cynghorion y bobl,
fel hyn; Numenius *mab* Antiochus, ac An-
tipater *mab* Jason, cenhadau yr Iuddewon a
ddaethant attom ni i adnewyddu y gyfei-
llach oedd rhyngddynt â ni.
23 A boddlon oedd y bobl i dderbyn y
gwŷr yn anrhydeddus, ac i 'sgrifenu copi
o'u hymadrodd hwynt yn y llyfrau a ddan-
gosir, fel y cai pobl y Spartiaid goffad-
wriaeth o hynny. A hwy a 'sgrifenasant
hefyd gopi o hyn at Simon yr Arch-offei-
riad.
24 Wedi hyn fe anfonodd Simon Nume-
nius i Rufain, â tharian mawr o aur ganddo,
o bwys mil o bunnoedd, i sicrhâu'r gyfeil-
lach â hwynt.
25 A phan glybu'r bobl y geiriau hyn,
hwy a ddywedasant, Pa ddiolch a roddwn
ni i Simon ac i'w feibion?
26 O blegid efe, a'i frodyr, a thŷ ei dad a
gryfhasant Israel, ac a ddinystriasant ely-
† iddynt nion Israel o'u mysg, ac a sicrhasant † iddo
hwy. ef ryddid.
27 A hwy a'i 'sgrifenasant mewn llechau
pres, ac a'i gosodasant ar golofnau ym
mynydd Sïon. A dyma gopi yr ysgrifen;
Y deunawfed dydd o fis Elul, y ddeuddeg-
fed flwyddyn a thrugain a chant, a'r dry-
dedd flwyddyn er pan yw Simon yr Arch-
offeiriad,
‡ Neu, 28 Yn ‡ Saramel, yn y gynnulleidfa fawr
Jerusalem. o offeiriaid, a phobl, a thywysogion y ge-
nedl, a henuriaid y wlad, yr hysbyswyd i ni
y pethau hyn.
29 O herwydd bod rhyfeloedd yn fynych
yn y wlad, yn y rhai yr ymroddes Simon
mab Mattathias, o feibion Jarib, a'i
frodyr, i'r perygl, ac a safasant yn er-
byn gwrthwynebwŷr eu cenedl, er mwyn
cynnal eu Cyssegr a'u cyfraith, ac a
anrhydeddasant eu cenedl ag anrhydedd
mawr.
30 (Canys wedi i Jonathan gasglu eu
cenedl hwynt, a bod yn Arch-offeiriad id-
dynt, a'i roddi at ei bobl;
31 A'u gelynion hwynt yn bwriadu dy-
fod i fynu i'w gwlad hwynt i ddifetha eu
gwlad, ac i estyn eu dwylaw yn erbyn eu
Cyssegr hwynt.
32 Yn yr hwn amser y cyfododd Simon,
ac a ryfelodd dros ei genedl, ac a dreuliodd
lawer o'i arian ei hun, ac a arfogodd § wŷr § *y rhyfel-*
nerthol o'i genedl, ac a roddes iddynt hwy *wŷr.*
gyflog.
33 Ac a gadarnhaodd ddinasoedd Judea,
a Bethsura, yr hon sydd ynghyffiniau Ju-
dea, lle y buasai arfau y gelynion o'r blaen,
ac a osododd yno wŷr o Iuddewon i war-
chod.
34 Felly y cadarnhaodd efe Joppe, yr
hon sydd wrth y môr; a ‖ Gazara, yr hon ‖ *Gaza.*
sydd ynghyffiniau Azotus, lle yr oedd y
gelynion yn aros o'r blaen: ac efe a osod-
odd Iuddewon yno, ac a osododd yno pa
bethau bynnag oedd gymmwys i'w cywair
hwynt.)
35 Y bobl gan hynny yn gweled ffydd-
londeb Simon, a'r anrhydedd yr oedd efe
yn amcanu ei wneuthur i'w genedl, a'i goso-
dasant ef yn gapten, ac yn Arch-offeiriad
am iddo wneuthur hyn oll, ac am y cyfi-
awnder a'r ffyddlondeb a gadwasai efe i'w
genedl, ac am geisio o hono ddyrchafu ei
bobl trwy bob modd.
36 Canys yn ei ddyddiau ef yr oedd
llwyddiant yn ei ddwylaw ef, yn gym-
maint a bwrw allan o'u gwlad hwynt y
Cenhedloedd, a'r rhai oedd yn ninas Da-
fydd ac yn Jerusalem, y rhai a wnaethent
iddynt dŵr, allan o'r hwn y deuent, ac yr
halogent y cwbl o amgylch y Cyssegr, ac y
gwnaent ddïaledd mawr † yn erbyn sanc- † *yn y*
teiddrwydd. *cyssegr.*
37 Ac efe a osododd ynddi hi wŷr o Iud-
dewon, ac a'i cadarnhaodd hi yn ddïogelwch
i'r wlad, ac i'r ddinas, a gododd gaerau
Jerusalem.
38 A'r brenhin Demetrius a sicrhaodd yr
Arch-offeiriadaeth iddo ef yn hollol;
39 Ac a'i gwnaeth ef o'i garedigion, ac a'i
hanrhydeddodd ef ag anrhydedd mawr.
40 O blegid fe glywsid fod d y Rhu- d Pen. 8.
feinwŷr yn galw'r Iuddewon yn gyfeill- 20. a 12. 3.
ion, ac yn gymdeithion, a chyfarfod o
honynt â chenhadau Simon yn anrhy-
deddus;
41 A gweled o'r Iuddewon yn dda, a'r
offeiriaid hefyd, fod Simon yn gapten id-
dynt, ac yn Arch-offeiriad byth, hyd oni
chodai prophwyd ffyddlon;
42 A'i fod efe yn gapten arnynt hwy, ac
i ofalu am y Cyssegr, fel y gosodai efe
hwynt ar eu gwaith, ac ar y wlad, ac ar yr
arfau, ac ar y cestyll, fel y byddai, *meddaf,*
arno ef y gofal am y Cyssegr;
43 Ac y gwrandawai pawb arno ef, ac y
'sgrifenid pob 'sgrifen yn y wlad yn ei enw
ef, ac e y dilledid ef mewn porphor, ac y e Pen. 10.
gwisgai aur: 20, 89. a 11.
44 Am hynny ni bydd gyfreithlon i neb 58.
o'r bobl nac o'r offeiriaid ddiddymmu dim
o hyn, na dywedyd yn erbyn dim a ddy-
wedo efe, na galw cymmanfa ynghŷd yn y
wlad hebddo ef, na gwisgo porphor, nac
arfer bwcl aur;
45 A phwy bynnag a wnelo yn erbyn
hyn, neu a ddiddymmo ddim o hyn, euog
fydd efe.
46 A boddlon oedd gan yr holl bobl osod
Simon i wneuthur fel hyn.
47 Simon hefyd a gymmerodd *hyn,* ac a
fu foddlon i fod yn Arch-offeiriad, ac yn
gapten, ac yn dywysog ar genedl yr

Iuddewon, a'r offeiriaid, ac i lywodraethu pawb.

48 A hwy a barasant osod yr ysgrifen hon mewn llechau pres, a'u gosod hwynt o fewn cylch y Cyssegr mewn lle hynod;

49 A gosod copi o hynny yn y trysordy, fel y gallai Simon a'i feibion ei gael ef.

## PEN. XV.

4 *Antiochus yn deisyf cael cennad i fyned trwy Judea, ac yn rhoi parch mawr i Simon ac i'r Iuddewon.* 16 *Y Rhufeiniaid yn ysgrifenu at amryw frenhinoedd a chenhedloedd, i ddangos ffafr i'r Iuddewon.* 27 *Antiochus yn cwerylu â Simon,* 38 *ac yn danfon rhai i ddrygu Judea.*

140. ANTIOCHUS hefyd mab y brenhin Demetrius, a anfonodd lythyrau o ynysoedd y môr at Simon yr Offeiriad, a phencenedl yr Iuddewon, ac at y genedl oll;

2 Ac yr oeddynt hwy yn cynnwys y modd hyn; Y brenhin Antiochus yn cyfarch gwell i Simon Arch-offeiriad a thywysog ei genedl, a phobl yr Iuddewon.

3 O herwydd i wŷr ysgeler gael gafael ar deyrnas ein hynafiaid ni, a bod yn fy mryd roddi hawl i'r frenhiniaeth, i'w hail-osod fel yr oedd o'r blaen; er mwyn hynny mi a gesglais lawer o filwŷr dïeithr, ac a barottoais longau rhyfel;

4 Ac yr ydwyf fi yn ewyllysio myned trwy'r wlad, i ddïal ar y rhai a anrheithiasant ein gwlad ni, ac a wnaethant lawer o ddinasoedd yn anghyfannedd yn y deyrnas.

5 Am hynny yn awr yr ydwyf yn sicrhâu i ti yr holl offrymmau, y rhai a ganiadhaodd y brenhinoedd a fuant o'm blaen i ti, a pha bethau bynnag eraill a ganiadhasant hwy i ti.

6 † Megis y gadawsant i ti daro mâth o arian priodol i'th wlad di.

† *Ac yr ydwyf yn rhoddi cennad i ti fathu arian ar dy lun dy hun.*

7 Ac am Jerusalem a'r Cyssegr, byddant yn rhyddion, a'r holl arfau a wnaethost ti, a'r cestyll a adeiledaist ti, y rhai yr ydwyt mewn meddiant o honynt, parhaed *hynny* i ti.

8 Maddeuer hefyd i ti bob dyled i'r brenhin, a'r hyn a fyddo dyledus i'r brenhin o hyn allan byth.

9 A phan ddarffo gwastadhâu ein teyrnas, nyni a'th anrhydeddwn di, a'th genedl, a'r Deml, ag anrhydedd mawr, fel y byddo eglur eich gogoniant chwi trwy'r holl fyd.

3865. 10 Y bedwaredd flwyddyn ar ddeg a thrugain a chant yr aeth Antiochus i dir ei hynafiaid: a'r holl luoedd a ddaethant ynghŷd atto ef, fel nad oedd ond ychydig gyd â Thryphon.

11 A'r brenhin Antiochus a'i hymlidiodd ef, ac yntau a ddaeth dan ffoi i Ddora sy ar lân y môr.

12 O blegid efe a wybu ymgasglu o ddrygau yn ei erbyn ef, ac i'r lluoedd ei adael ef.

13 Ac Antiochus a wersyllodd yn erbyn Dora, a chyd ag ef chwe ugain mil o ryfelwŷr, ac wyth mil o wŷr meirch.

14 Ac efe a amgylchodd y ddinas, ac a osododd y llongau wrth y ddinas o du'r môr, ac a flinodd y ddinas o'r tir a'r môr, fel na adawodd efe i neb fyned allan na dyfod i mewn.

15 Yna y daeth Numenius a'r rhai oedd gyd ag ef, o Rufain, a llythyrau ganddynt at y brenhinoedd a'r gwledydd, yn y rhai yr oedd hyn yn 'sgrifenedig:

16 Lucius, Consul y Rhufeiniaid, yn annerch y brenhin Ptolomeus.

17 Cenhadon yr Iuddewon, ein cyfeillion a'n cymdeithion, a ddaethant attom ni i adnewyddu'r gyfeillach a'r gymdeithas a fuasai o'r blaen; wedi eu hanfon oddi wrth Simon yr Arch-offeiriad, a phobl yr Iuddewon:

18 A hwy a ddygasant darian o aur o bûm mil o bunnoedd.

19 Am hynny nyni a welsom yn dda 'sgrifenu at y brenhinoedd a'r gwledydd, na cheisient niweid iddynt, ac na ryfelent yn eu herbyn hwynt, na'u dinasoedd, na'u gwlad, ac na chynnorthwyent y rhai a ryfelent i'w herbyn.

20 Ac ni a welsom yn dda dderbyn y tarian ganddynt hwy.

21 Am hynny os ffodd rhai dynion ysgeler o'u gwlad hwynt attoch chwi, rhoddwch hwynt i Simon yr Arch-offeiriad, i ddïal arnynt yn ol eu cyfraith hwynt.

22 A hyn hefyd a 'sgrifenodd efe at Ddemetrius y brenhin, ac Attalus, ac ‡ Arathes, ac Arsaces,

‡ *Neu, Ariarathes.*

23 Ac i bob gwlad, megis i § Sampsames, at y Spartiaid i Ddelus hefyd, ac i Myndus, ac i Sycion, ac i Caria, ac i Samos, a Pamphilia, ac i Lycia, ac i Halicarnassus, ac i Rhodus, a || Pharseilis, ac i Cos, ac i Side, ac i Aradus, ac i Gortyna, a Cnidus, a Cyprus, a Cyrene.

§ *Neu, Sampsaces.*

|| *Neu, Basilis.*

24 A hwy a 'sgrifenasant gopi o hyn at Simon yr Arch-offeiriad.

25 A'r brenhin Antiochus a wersyllodd yn erbyn Dora yr ail dydd, gan † ddwyn ei luoedd yn wastadol yn ei herbyn hi, a gwneuthur offer rhyfel: ac efe a gauodd ar Tryphon fel na allai efe fyned nac i mewn nac allan.

† *ymladd yn wastadol.*

26 A Simon a anfonodd iddo ef ddwy fil o wŷr dewisol i'w gynnorthwyo ef, ac aur, ac arian, ac arfau lawer.

27 Ac ni fynnai efe eu cymmeryd hwynt, eithr efe a dorrodd yr ammodau oll a wnaethai efe ag ef o'r blaen, ac a ymddïeithrodd oddi wrtho ef.

28 Ac efe a anfonodd Athenobius, un o'i garedigion, i ymddiddan ag ef, gan ddywedyd, Yr ydych chwi yn meddiannu Joppe, a Gazara, a'r tŵr yn Jerusalem, dinasoedd fy nheyrnas i.

29 Chwi a wnaethoch eu cyffiniau hwynt yn anghyfannedd, ac a wnaethoch ddïaledd mawr yn y tir, ac a feddiannasoch lawer o fannau yn fy nheyrnas i.

30 Am hynny yr awrhon moeswch y dinasoedd a gymmerasoch chwi, ac ardreth y lleoedd a feddiannasoch chwi, ‡ o'r tu allan i gyffiniau Judea:

‡ *Neu, oddieithr cyffiniau, &c.*

31 Ac onid ê, moeswch i mi bûm cant o dalentau arian am danynt hwy; a phûm cant eraill o dalentau am y dinystr a wnaethoch, ac ardreth y lleoedd: onid ê, nyni a ddeuwn, ac § a ymladdwn yn eich erbyn chwi.

§ *a'ch darostyngwn mewn rhyfel.*

32 Felly y daeth Athenobius caredig y brenhin, i Jerusalem, ac efe a welodd ogoniant Simon, a'r cwpbwrdd, a'r llestri arian, a'r arlwy mawr, a rhyfedd fu ganddo: ac efe a fynegodd iddo eiriau y brenhin.

33 Yna Simon a attebodd, ac a ddywedodd wrtho ef, Ni chymmerasom ni dir neb arall, ac nid attaliasom yr eiddo eraill, ond etifeddiaeth ein hynafiaid; yr hon a

fu dros ennyd o amser ym meddiant ein gelynion yn anghyfiawn.

34 A phan gawsom ni amser, ni a fynnasom drachefn etifeddiaeth ein tadau.

35 Ac am Joppe a Gazara, y rhai yr wyt ti yn eu ceisio, er iddynt wneuthur niweid mawr i'n pobl ni, ac i'n gwlad; etto ni a roddwn am y rhai hynny gan talent. Ac nid atteboddd † yntau air ‡ iddo;

† *Athenobius.* ‡ *i hyn.*

36 Eithr efe a ddychwelodd at y brenhin yn ddigllon, ac a fynegodd iddo y geiriau hyn, ac anrhydedd Simon, a'r hyn a welsai efe oll. A'r brenhin a ddigiodd yn ddirfawr.

37 Yna yr aeth Tryphon i long, ac a ffodd i Orthosias.

38 A'r brenhin a osododd Cendebëus yn gapten ar lân y môr, ac a roddes iddo ef luoedd o wŷr traed ac o wŷr meirch.

39 Ac efe a orchymynodd iddo ef wersyllu o flaen Judea, ac a archodd iddo adeiladu Cedron, a chadarnhâu'r pyrth, a rhyfela yn erbyn y bobl. A'r brenhin yntau a ymlidiodd Tryphon.

40 Yna y daeth Cendebëus i Jamnia, ac efe a ddechreuodd gyffrôi'r bobl, a gosod ar Judea, a chaeth-gludo'r bobl, a'u lladd.

41 Ac wedi iddo adeiladu Cedron, efe a osododd yno wŷr meirch, a llu *o wŷr traed*, fel y gallent fyned allan oddi yno, a rhodio ar hŷd ffyrdd Judea, fel y gorchymynasai'r brenhin iddo ef.

## PEN. XVI.

3 *Judas a Ioan yn cael y maes ar luoedd Antiochus.* 11 *Capten Jericho yn gwahodd Simon a dau o'i feibion i'w gastell, ac yno yn eu lladd hwy trwy frad.* 19 *Ceisio gy'ael ar Ioan,* 22 *ac yntau yn d'iangc, ac yn lladd y rhai oedd yn ei geisio.*

a Pen. 13. 53.

A Ioan a aeth i fynu [a] o Gazara, ac a fynegodd i Simon ei dad yr hyn a wnaethai Cendebëus.

2 A Simon a alwodd ei ddau fab hynaf, Judas a Ioan, ac a ddywedodd wrthynt hwy, [b] Myfi a'm brodyr a thŷ fy nhad a ryfelasom yn erbyn gelynion Israel o'n hieuengctid hyd heddyw: ac [c] fe a ffynnodd gennym ni waredu Israel lawer gwaith.

b Pen. 14. 20.
c Pen. 3. 6. a 14. 36.

3 Ond yr awrhon mi a heneiddiais, a chwithau trwy drugaredd *Duw* ydych yn ddigon oedrannus. Byddwch chwi yn fy lle i a'm brawd, ac ewch allan, a rhyfelwch dros ein cenhedl ni; a'r cymmorth o'r nef a fyddo gyd â chwi.

4 Ac efe a etholodd o'r wlad ugain mil o ryfelwŷr, a gwŷr meirch; a hwy a aethant yn erbyn Cendebëus, ac a gysgasant ym Modin.

5 A hwy godasant yn fore, ac a aethant i'r maes, ac wele lu mawr yn dyfod yn eu herbyn hwynt ar draed, ac ar feirch: ac yr oedd aber ddwfr yn y canol rhyngddynt.

6 Ac efe a wersyllodd o'u blaen hwynt, efe a'i bobl: a phan welodd efe y bobl yn ofni myned trwy'r aber ddwfr, efe a aeth trwodd yn gyntaf; a'r gwŷr a'i gwelsant ef, a hwythau a aethant ar ei ol ef.

7 Yna y rhannodd efe'r bobl, a'r gwŷr meirch *a roddwyd* ynghanol y gwŷr traed; o blegid gwŷr meirch y gelynion oedd lawer iawn.

8 Yna y canasant â'r udgyrn sanctaidd: ac ar hynny y ffodd Cendebëus a'i lu, a llawer o honynt a syrthiasant yn archolledig, a'r lleill a ffoisant i'r castell.

9 Yna y clwyfwyd Judas brawd Ioan: eithr Ioan a'u hymlidiodd hwynt hyd oni ddaeth efe i Cedron, yr hon a adeiladasai *Cendebëus.*

10 † A hwy a ffoisant hyd y tyrau sydd ym maes Azotus; ac yntau a'i llosgodd hi â thân, ac fe syrthiodd o honynt hwy gymmaint a dwy fil o wŷr. Ac efe a ddychwelodd i dir Judea yn heddychlon.

† *Gwedi iddo roddi hon ar dân, hwy a ffoisant i'r tyrau ym maesydd Azotus, ac a laddwyd yno.*

11 Ac yr oedd Ptolomëus mab Abubus wedi ei osod yn gapten ym maes Jericho; ac yr oedd ganddo ef arian ac aur lawer. 139.

12 O blegid ‡ daw'r Arch-offeiriad oedd efe.

‡ *mab yn y gyfraith.*

13 A'i galon a'i cododd ef, ac efe a chwennychodd feddiannu y wlad, ac a fwriadodd trwy dwyll yn erbyn Simon a'i feibion, i'w difetha hwynt.

14 Ac yr oedd Simon yn rhodio trwy ddinasoedd y wlad, ac yn ofalus am eu llywodraeth hwynt: ac efe a aeth i waered i Jericho, efe, a Mattathias, a Judas, ei feibion, yn yr ail flwyddyn ar bymtheg a thrugain a chant, yn yr unfed mis ar ddeg, hwn yw'r mis Sabat.

15 A mab Abubus a'u derbyniodd hwynt trwy dwyll i gastell a elwid Docus, yr hwn a adeiladasai efe, ac efe a wnaeth iddynt wledd fawr, ac a guddiodd yno wŷr.

16 Ac wedi yfed o Simon a'i feibion yn dda, y cododd Ptolomëus a'r rhai oedd gyd ag ef; a hwy a gymmerasant eu harfau, ac a ruthrasant i Simon yn y wledd, ac a'i lladdasant ef a'i ddau fab, a rhai o'i weision.

17 Felly y gwnaeth efe ysgelerder mawr, ac y talodd ddrwg am dda.

18 A Ptolomëus a'sgrifenodd hyn, ac a anfonodd at y brenhin i anfon atto ef lu yn gymmorth, ac efe a roddai iddo ef y wlad a'r dinasoedd.

19 Ac efe a yrrodd eraill i Gazara i ddifetha Ioan; ac a anfonodd lythyrau at y § milwriaid, *i erchi* iddynt ddyfod atto ef, fel y rhoddai efe iddynt arian, ac aur, a rhoddion.

§ *capteniaid ar filoedd.*

20 Ac efe a yrrodd eraill i ynnill Jerusalem a mynydd y Deml.

21 Ac un a redodd o'r blaen, ac a fynegodd i Ioan yn Gazara ddarfod lladd *ei* dad ef, a'i frodyr: ac efe a anfonodd i'th ladd dithau, *eb efe.*

22 Yntau pan glybu a ofnodd yn ddirfawr, ac a ddaliodd y gwŷr a ddaethai i'w ladd ef, ac a'u lladdodd hwynt: o blegid efe a wybu eu bod hwy yn ceisio ei ddifetha ef.

23 A'r rhan arall o hanes Ioan, a'i ryfeloedd, a'i wrolaeth, yr hyn a wnaeth efe, ac adeiladaeth y caerau a adeiladodd efe, a'i weithredoedd;

24 Wele le a'sgrifenwyd hyn yn llyfrau Chronicl ei Arch-offeiriadaeth ef, er pan wnaethpwyd ef yn Arch-offeiriad ar ol ei dad.

# ¶ AIL LYFR Y MACCABEAID.

PEN. I.

1 *Llythyr oddi wrth yr Iuddewon oedd yn Jerusalem, at y rhai oedd yn yr Aipht, i ddïolch i Dduw am farwolaeth Antiochus.* 19 *Y tân a guddiasid yn y pydew.* 24 *Gweddi Nehemïas.*

144. Y Mae y brodyr, yr Iuddewon sydd yn Jerusalem ac yngwlâd Judea, yn dymuno i'r brodyr o Iuddewon sydd yn yr Aipht, iechyd a heddwch..

2 Duw a wnelo ddaioni i chwi, ac a gofio ei gyfammod a wnaeth efe ag Abraham, ag Isaac, ac â Jacob, ei ffyddlon weision;

3 Ac a roddo galon i chwi oll i'w wasanaethu ef, ac i wneuthur ei ewyllys ef â chalon gysurus, ac â meddwl ewyllysgar;

4 Ac a agoro eich calon chwi yn ei gyfraith a'i orchymynion, ac a drefno i chwi dangnefedd;

5 A wrandawo ar eich gweddïau chwi, a gymmodo â chwi, ac ni'ch gadawo byth yn amser adfyd.

6 Ac yn awr yr ydym ni yn gweddio yma drosoch chwi.

7 Pan oedd Demetrius yn teyrnasu yn y nawfed flwyddyn a thrugain a chant, nyni yr Iuddewon a 'sgrifenasom attoch chwi yn y blinder a'r gorthrymder a ddaeth arnom ni o fewn y blynyddoedd hynny, er pan aeth
a Pen. 4. 7. [a] Jason a'r rhai oedd gyd ag ef allan o'r wlad sanctaidd a'r frenhiniaeth,

8 Ac y llosgasant y porth, ac y tywalltasant waed gwirion: ninnau a weddiasom ar yr Arglwydd, ac a gawsom ein gwrando; ac a offrymmasom ebyrth a pheilliaid, ac a oleuasom lusernau, ac a osodasom y bara allan.

9 Am hynny yn awr edrychwch ar gadw
b Lef. 23. 34. dyddiau gwyl [b] y pebyll yn y mis Casleu.

10 Yr wythfed flwyddyn a phedwar ugain a chant, y bobl oedd yn Jerusalem ac yn Judea, a'r cyngor, a Judas, sydd yn dymuno llwyddiant a iechyd i Aristobulus, athraw y brenhin Ptolomëus, yr hwn sydd o hiliogaeth yr offeiriaid enneiniog, ac i'r Iuddewon yn yr Aipht.

11 Yn gymmaint a bod i Dduw ein gwaredu ni oddi wrth fawr beryglon, yr ydym yn rhoddi mawr ddïolch iddo, megis pe buasem yn rhyfela yn erbyn brenhin.

12 Canys efe a'u bwriodd hwynt allan, y rhai a ymladdasant yn erbyn y ddinas sanctaidd.

13 Canys pan ddaethai y capten i Persia â llu a dybid yn anorchfygol gyd ag ef, fe a'u lladdwyd hwy yn nheml Nanea, trwy ddichell offeiriaid Nanea.

14 Canys Antiochus a ddaeth yno megis i'w phrïodi, efe a'i geraint gyd ag ef, i dderbyn arian yn enw cynhysgaeth.

15 Ond wedi i offeiriaid Nanea eu rhifo, a myned o hono i mewn i'r Deml heb nemmor gyd ag ef, hwy a gauasant y deml, wedi dyfod Antiochus i mewn:

16 Ac a agorasant ddrws dirgel ar nên y deml, ac a daflasant gerrig megis saethau mellt, ac a darawsant i lawr y capten a'i wŷr, ac wedi eu dryllio yn ddarnau, hwy a dorrasant eu pennau, ac a'u taflasant at y rhai oedd oddi allan.

17 Bendigedig fyddo ein Duw ni ym mhob peth, yr hwn a roddes i fynu yr annuwiol.

18 Gan ein bod ni a'n bryd [c] ar gadw c 1 Mac. 4. 59. Pen. 2. 16.
puredigaeth y Deml ar y pummed dydd ar hugain o fis [d] Casleu, ni a welsom fod yn d Lef. 23. Num. 29.
angenrheidiol fynegi hyn i chwi; fel y gallech chwithau hefyd ei gadw fel dydd gwyl y pebyll, a gwyl y tân, *yr hwn a roddwyd i ni* pan offrymmodd Nehemïas aberth, wedi iddo adeiladu'r Deml a'r allor.

19 Canys yn y cyfamser yr arweiniwyd ein tadau i Persia, yr offeiriaid addolwŷr Duw y pryd hynny a gymmerasant y tân yn ddirgel oddi ar yr allor, ac a'i cuddiasant mewn dyffryn, lle yr oedd pydew dwfn a sych: ac yno y cadwasant ef, fel na's gwyddai neb y man hwnnw.

20 Yn awr wedi llawer o flynyddoedd, pan welodd Duw yn dda, Nehemïas (pan yrrwyd ef oddi wrth frenhin Persia) a yrrodd rai o eppil yr offeiriaid a'i cuddiasai ef, at y tân. Ond pan fynegasant wrthym na chawsant ddim tân ond dwfr tew,

21 Yna y gorchymynodd efe iddynt ei gyrchu i fynu, a'i ddwyn ef. Ac wedi gosod yr aberthau, Nehemïas a orchymynodd i'r offeiriaid daenellu'r dwfr ar y coed a'r pethau oedd arnynt.

22 Wedi darfod hyn, a dyfod yr amser i'r haul i lewyrchu, yr hwn o'r blaen oedd dan gwmmwl, fe ennynnodd tân mawr; fel y rhyfeddodd pawb.

23 A thra oedd yr aberth yn darfod, yr holl offeiriaid oedd yn gweddïo, Jonathan yn gyntaf, a'r lleill yn atteb fel Nehemïas.

24 A'r weddi oedd fel hyn, Oh Arglwydd Dduw, Gwneuthurwr pob peth, yr hwn wyt ofnadwy a chadarn, cyfiawn, a thrugarog, a'r unig a'r grasol Frenhin.

25 Ti yn unig wyt hael, uniawn, hollalluog, a thragywyddol; ti yr hwn wyt yn gwaredu Israel o'u holl flinder, yr hwn a etholaist y tadau, ac a'u sancteiddiaist hwy,

26 Derbyn aberth dros dy holl bobl Israel, cadw dy ran, a sancteiddia hi.

27 Casgl ynghyd y rhai a wasgarwyd oddi wrthym ni, a gwared y rhai sydd yn gwasanaethu'r Cenhedloedd; edrych ar y dirmygus a'r ffiaidd, a gâd i'r Cenhedloedd wybod mai tydi yw ein Duw ni.

28 Cospa ein gorthrymmwŷr, a'r rhai sydd trwy falchedd yn gwneuthur cam â ni.

29 Gosod dy bobl eilwaith yn dy le sanctaidd, [e] megis y llefarodd Moses. e Deut. 30. 5.

30 Yr offeiriaid hefyd a ganent psalmau Pen. 2. 18.
dïolch.

31 Hefyd wedi yssu'r aberth, Nehemïas a orchymynodd dywallt y dwfr oedd yngweddill ar y cerrig mawrion.

32 Yr hwn beth pan wnaethwyd, fe a ennynnodd fflam: ond hi a ddiffoddwyd gan y goleuni oedd yn llewyrchu oddi ar yr allor.

33 Pan wybüwyd y peth hyn, fe fynegwyd i frenhin Persia mai yn y fan lle y cuddiasai'r offeiriaid a arweiniesid ymaith, y tân, yr ymddangosodd dwfr, â'r hwn y purodd Nehemïas, a'r rhai oedd gyd ag ef, yr ebyrth.



Bbb

34 Y brenhin a chwiliodd y peth yn ddyfal, ac a amgylchynodd y lle o'i amgylch, ac a'i gwnaeth yn sanctaidd.

35 A'r brenhin a gymmerth roddion lawer, ac a roddes o honynt i'r rhai yr oedd efe yn chwennych gwneuthur cymmwynas iddynt.

36 A Nehemïas a alwodd y peth hwnnw Naphthar; yr hwn yw o'i ddeongl, Puredigaeth: ond llawer rhai a'i galwant Nephi.

## PEN. II.

1 *Pa beth a wnaeth y prophwyd Jeremi.* 5 *Y modd y cuddiodd efe y Babell, a'r Arch, a'r Allor.* 13 *Pa beth a 'sgrifenodd Judas a Nehemïas.* 20 *Pa beth a 'sgrifenodd Jason mewn pùm llyfr,* 25 *a'r modd y talfyrrwyd y rhai hynny gan awdur y llyfr hwn.*

EF a geir hefyd yn y 'sgrifenadau erchi o Jeremïas y prophwyd, i'r rhai a arweiniwyd ymaith gymmeryd y tân, [a] megis y mynegwyd;

[a] Pen. 1. 19.

2 Ac fel y gorchymynasai 'r prophwyd i'r rhai a arweiniwyd ymaith, gan roddi iddynt gyfraith, na's gollyngent dros gof orchymynion yr Arglwydd, ac na chyfeiliornent yn eu meddyliau, [b] pan welent ddelwau o aur ac arian, a gwisgoedd.

[b] Baruch 6. 4.

3 Cyfryw bethau eraill a lefarodd wrthynt, gan eu cynghori na adawent i'r gyfraith fyned allan o'u calonnau.

4 Yr oedd hefyd yn yr un 'sgrifen, fel y darfu i'r prophwyd, trwy atteb Duw wrtho, orchymyn dwyn y babell a'r Arch gyd ag ef, hyd oni ddaeth i'r [c] mynydd yr esgynodd Moses iddo, lle y gwelodd efe etifeddiaeth Duw.

[c] Deut. 32. 49.

5 Ac wedi dyfod Jeremïas yno, efe a gafodd ogof, yn yr hon y gosodes efe y babell, a'r arch, ac allor y poeth-offrwm, ac a gauodd y drws.

6 A rhai a ddaethant i farcio'r ffordd, o'r rhai a'i dilynent ef; ond ni's medrent ei chael.

7 Pan wybu Jeremïas hynny, efe a'u ceryddodd hwy, gan ddywedyd, Ni chaiff neb wybod y lle, hyd oni chasglo Duw ei bobl drachefn, a bod trugaredd.

8 Yna y dengys yr Arglwydd iddynt y pethau hyn: a gogoniant yr Arglwydd a ymddengys, a'r cwmmwl hefyd, [d] megis ag y datguddiwyd i Moses, ac [e] fel y deisyfodd Salomon, bod sancteiddio'r lle yn anrhydeddus.

[d] Exod. 34. 5.
[e] 1 Bren. 8. 10.

9 Canys eglur yw, ddarfod iddo megis un a chanddo ddoethineb, [f] offrymmu aberth cyssegriad, a sancteiddiad y Deml.

[f] 1 Bren. 8. 62, &c.

10 Ac [g] megis, pan weddïodd Moses ar yr Arglwydd, y daeth tân i lawr o'r nefoedd, ac yr ysodd yr aberth; [h] felly Salomon a weddïodd, a thân a ddaeth i lawr o'r nefoedd, ac a ysodd y poeth-offrwm.

[g] Lef. 9. 23, 24.
[h] 2 Chron. 7. 1

11 A [i] Moses a ddywedodd, Am na ddylid bwytta 'r offrwm dros bechod, am hynny yr ysswyd ef.

[i] Lef. 10. 16, &c.

12 Ac felly Salomon a gadwodd yr wyth niwrnod hynny.

13 Y pethau hyn hefyd a fynegir yn 'sgrifenadau, ac ynghof-lythyrau Nehemïas, fel y gwnaeth efe lyfr-dŷ, ac y casglodd actau y brenhinoedd a'r prophwydi, actau Dafydd ac Epistolau y brenhinoedd am y rhoddion sanctaidd.

14 Yn yr un ffunud Judas a gasglodd ynghŷd yr holl bethau a gollesid o achos y rhyfel a ddigwyddodd arnom; ac y mae *hynny* gennym ni.

15 Am hynny os bydd rhaid i chwi wrthynt, danfonwch rai a'u dycco i chwi.

16 Canys o herwydd ein bod ni [k] a'n bryd ar gadw y puredigaeth, ni a 'sgrifenasom attoch: am hynny, da y gwnewch chwithau os cedwch yr un dyddiau.

[k] Pen. 1. 18.

17 Duw, yr hwn a waredodd ei holl bobl, ac a roddes etifeddiaeth i bawb, a theyrnas, ac offeiriadaeth, a sancteiddrwydd,

18 [l] Megis yr addawodd efe yn y gyfraith, yr ydym yn gobeithio y trugarhâ wrthym ar fyrder, ac y casgl ni ynghŷd o bob gwlad oddi tan y nefoedd, i'w le sanctaidd: canys efe a'n gwaredodd ni oddi wrth fawr beryglon, ac a lanhaodd y lle.

[l] Pen. 1. 29.

19 Am Judas Maccabëus a'i frodyr, am buredigaeth y Deml fawr, a chyssegriad yr allor,

20 A'r rhyfeloedd yn erbyn Antiochus Epiphanes, a'i fab Eupator,

21 [m] A'r eglur arwyddion a ddaethant o'r nefoedd i'r rhai a ymddygasant yn wrol i'w hanrhydedd ynghweryl crefydd yr Iuddewon: canys er nad oeddynt ond ychydig, etto hwy a orchfygasant yr holl wlad, ac a yrrasant i ffoi dyrfâau y barbariaid,

[m] Pen. 3. 24. a 5. 2. a 10. 29. a 11. 8. a 15. 12.

22 Ac a adeiladasant drachefn y Deml, am yr hon yr oedd mawr son trwy 'r holl fyd, ac a waredasant y ddinas, ac a sicrhasant y cyfreithiau yr oeddid ar eu dirymmu, o herwydd bod yr Arglwydd yn drugarog, ac yn rasol iawn wrthynt;

23 Y pethau hefyd a fynegodd Jason Cyrenëus mewn pùm llyfr, ni a brofwn eu talfyrru mewn un llyfr.

24 Canys wrth ystyried anfeidrol rifedi y *llyfrau*, ar dyryswch y maent hwy yn ei gael sydd yn chwennych myned trwy draethawd yr histori, o herwydd amled y matterion;

25 Nyni a gymmerasom ofal ar gael o'r rhai a ewyllysient ddarllen, ddiddanwch, a bod esmwythdra i'r rhai a chwennychent gofio, ac i bawb a'i darllenent gael budd.

26 Am hynny i ni, y rhai a gymmerasom arnom y drafael flin hon i dalfyrru, nid esmwythdra oedd, ond gwaith a wnaeth i ni chwysu, a gwylio.

27 Fel nad ydyw esmwyth i'r hwn a wnelo wlêdd, ac a geisio fudd rhai eraill; felly ninnau, er mwyn gwneuthur cymmwynas i lawer a gymmerwn y blinder hyn yn ewyllysgar;

28 Gan adael bod yn fanwl am bob peth i'r awdur, nyni a geisiwn grynhói y cwbl ar fyr eiriau:

29 Canys fel y mae yn rhaid i'r neb a wnelo dŷ newydd ofalu am yr holl adeiladaeth: ond y neb a gymmero arno ei osod allan, a'i baentio, nid rhaid iddo geisio dim ond a fyddo angenrheidiol i'w harddu: felly yr ydwyf fi yn meddwl o'n rhan ninnau,

30 Mai perthynasol yw i 'sgrifenwr cyntaf yr histori fyned ynddi yn ddwfn i son am bob peth, gan fod yn ddiesgeulus ym mhob rhan,

31 Ond y mae yn rhŷdd i'r neb a'i talfyrro, arfer ychydig eiriau, ac ymadael â phob manylwch ynddi.

32 Yma am hynny y dechreuwn ein traethawd; am y rhagymadrodd digon yw a ddywedasom ni; canys ffolineb yw arfer hir ymadrodd o flaen yr histori, a bod yn fyr yn yr histori.

## PEN. III.

1 *Yr anrhydedd a wnaeth brenhinoedd y Cenhedloedd i'r Deml. 4 Simon yn mynegi pa drysorau oedd yn y Deml. 7 Danfon Heliodorus i'w dwyn hwy ymaith; 24 a Duw yn ei daraw ef; a'i iachâu ef wrth weddi Onïas.*

187. Y Cyfamser yr oeddid yn preswylio y ddinas sanctaidd mewn heddwch, ac yn cadw 'r cyfreithiau yn dda iawn, o blegid duwioldeb Onïas yr Arch-offeiriad, ac o herwydd ei fod yn casau pob drygioni,

2 Digwyddodd i'r brenhinoedd a'r tywysogion farnu 'r lle yn anrhydeddus, ac anrhegu 'r Deml â'u rhoddion goreu;

3 Yn gymmaint ag i Seleucus brenhin Asia, dalu o'i ardrethion, yr holl draul a berthynai i weinidogaeth yr ebyrth.

3821. 4 Ond un *a elwyd* Simon o lwyth Benjamin, yr hwn a wnaethid yn oruchwyliwr ar y Deml, a ymrafaeliodd â'r Archoffeiriad i wneuthur diffaethwch yn y ddinas.

5 Ond pryd na's gallai orchfygu Onïas, efe a aeth at Apolonius fab Thraseas, yr hwn oedd yr amser hwnnw yn llywodraethwr ar Cœlosyria a Phenicia.

6 Ac a fynegodd iddo fod trysordy Jerusalem yn llawn o arian aneirif, fel yr oedd lliosowgrwydd eu cyfoeth yn aneirif, y rhai ni pherthynent i weinidogaeth yr ebyrth, a bod yn bossibl dwyn y cwbl i ddwylaw 'r brenhin.

7 Wedi ymgyfarfod o Apolonius â'r brenhin, efe a fynegodd iddo am yr arian a ddangosasid iddo: yntau a etholodd Heliodorus golygwr ei drysordy, ac a'i danfonodd â gorchymyn ganddo i gyrchu 'r arian y dywedwyd am danynt o'r blaen.

8 Am hynny Heliodorus yn y màn a gychwynodd i'w daith, yn rhith myned i ymweled â dinasoedd Cœlosyria a Phenicia, ond â'i feddwl ar gyflawni arfaeth y brenhin.

9 Yn ol dyfod o hono i Jerusalem, a'i dderbyn yn groesawus gan Arch-offeiriad y ddinas, efe a draethodd *iddynt* beth a ddangosasid iddo *am yr arian*, ac a fynegodd paham y daethai efe yno, ac efe a ofynnodd a oedd y pethau hyn yn wir.

10 Yna yr Arch-offeiriad a ddangosodd iddo fod yno y cyfryw arian wedi eu rhoi i gadw i ymgeleddu y gweddwon a'r amddifaid;

11 A rhai yn eiddo Hyrcanus mab Tobïas, gwr ardderchog iawn, ac nid fel y camddywedasai Simon, y *dŷn* annuwiol hwnnw, a bod y cwbl yn bedwar càn talent o arian, a dau cant o aur:

12 Ac nad ydoedd bossibl gwneuthur y fath gam â'r rhai a ymddiriedasent i sancteiddrwydd y màn hwnnw, ac i fawredd a difrycheulyd grefydd y Deml, yr hon oedd anrhydeddus trwy 'r holl fyd.

13 Ond Heliodorus, o herwydd gorchymynion y brenhin, y rhai oedd ganddo, a ddywedodd yn hollol y byddai raid dwyn yr arian i drysordy 'r brenhin.

14 Ac wedi gosod dydd, efe a aeth i mewn ar fedr yn ol eu gweled, gymmeryd trefn am danynt. Am hynny nid bychan oedd y caledi yn yr holl ddinas.

15 A'r offeiriaid a syrthiasant i lawr ger bron yr allor yn eu gwisgoedd sanctaidd, ac a alwasant tu a'r nef ar *Dduw*, yr hwn [a] a roisai gyfraith am y trysor sanctaidd, ar iddo ei gadw yn gyfan i'r rhai a'i rhoddasai yno i'w gadw. [a] Exod. 22. 7, &c.

16 A'r neb a edrychai ar wynebpryd yr Arch-offeiriad a ddoluriai yn ei galon: canys ei wynebpryd, a newidiad ei liw, oedd yn dangos cyfyngder ei galon.

17 Canys rhyw ofn a dychryn corph a amgylchodd y gwr hwnnw, fel y byddai eglur i'r rhai a edrychent arno, y dolur oedd yn ei galon ef.

18 Rhai eraill hefyd a gyrchasant allan o'u tai, i wneuthur gweddi gyffredin, o herwydd bod y lle yn debyg i ddyfod i ddirmyg.

19 Y gwragedd hefyd wedi ymwregysu â lliain sach dan eu bronnau, a lanwent yr ystrydoedd: a'r gwyryfon, y rhai a gauasid i mewn, a redent rhai i'r pyrth, a rhai i'r caerau, a rhai eraill a edrychent allan trwy 'r ffenestri:

20 A phawb o honynt yn codi eu dwylaw tu a'r nef, ac yn gweddïo.

21 Galarus oedd gweled nifer y rhai a syrthient i lawr o bob math; a disgwyliad yr Arch-offeiriad yn ei fawr ofid.

22 Am hynny y rhai hyn a alwasant ar yr holl-alluog Arglwydd, ar iddo gadw yn ddïogel ac yn sicr y pethau a roddasid i'w cadw mewn ymddiried, i 'r rhai a'u rhoddasent i'w cadw.

23 Er hynny Heliodorus a gyflawnodd y peth a arfaethasai efe.

24 Eithr fel yr oedd efe ei hun etto yn bresennol gyd â'i sawdwŷr wrth y trysordy, efe'r hwn yw Arglwydd yr ysprydion, a thywysog pob gallu, a wnaeth ryfeddod mawr, yn gymmaint ag i bawb a feiddient ddyfod gyd ag ef ryfeddu *wrth weled* nerth rhinwedd Duw, a hwy a lesmeiriasant, ac a ddychrynasant yn ddirfawr.

25 Canys ymddangosodd iddynt ryw farch mewn gwisg hardd o'r oreu, ac arno farchog ofnadwy, ac a redodd yn egnïol, ac a darawodd Heliodorus â'i garnau blaen: a'r hwn oedd yn eistedd arno a dybid fod ganddo arfau o aur.

26 Hefyd fe a ymddangosodd ger ei fron ef ddau wr ieuaingc eraill, nodedig o nerth, rhagorol o brŷd, a hardd eu dillad, yn sefyll yn ei ymyl ef o bob tu iddo, ac a'i ffrewyllasant ef yn wastad, ac a roisant iddo lawer gwïalennod tost.

27 Am hynny pan syrthiodd ef i lawr yn ddisymmwth, ac wedi ei amgylchu â thywyllwch mawr, ei *wŷr* a'i cippiasant ef, ac a'i gosodasant mewn elor feirch.

28 Ef, yr hwn a ddaethai ychydig o'r blaen i mewn i'r trysordy â thyrfa fawr, ac â'i holl † gard gyd ag ef, ef meddaf, yr hwn ni allai gael dim cymmorth gan ei arfau, a ddygasant hwy allan: a hwy a gydnabuant allu Duw yn eglur. † *osgordd*

29 Canys yr oedd efe yn fud trwy waith Duw, ac yn gorwedd wedi ei ddiddymmu o'i holl obaith am ei iechyd.

30 Hwythau a foliannasant yr Arglwydd, yr hwn yn rhyfeddol a ogoneddasai ei le ei hunan: o blegid y Deml honno, yr hon oedd ychydig o'r blaen yn llawn o ofn a therfysg, pan ymddangosodd yr holl-alluog Arglwydd, a lanwyd â llawenydd, ac â gorfoledd.

31 Ond yn y man rhai o gyfnesaf Heliodorus a attolygasant i Onïas weddïo ar y Goruchaf, ar iddo ganhiadu yn rasusol einioes iddo ef, yr hwn oedd yn gorwedd yn agos i farw.

32 Yna'r Arch-offeiriad, yn ofni rhag i'r brenhin dybied i'r Iuddewon wneuthur rhyw ddrwg i Heliodorus, a offrymmodd dros iechyd y gwr hwnnw.

33 Fel yr oedd yr Arch-offeiriad yn gweddïo ar Dduw, yr unrhyw wŷr ieuaingc yn yr unrhyw ddillad a ymddangosasant drachefn i Heliodorus, a chan sefyll a ddywedasant, Dyro fawr ddïolch i Onïas yr Arch-offeiriad: canys er ei fwyn ef yn rasusol y canhiadodd yr Arglwydd i ti dy einioes.

34 Tithau hefyd wedi dy guro o'r nefoedd, mynega i bawb alluoccaf nerth Duw. Ac yn ol dywedyd hyn, hwy a ddifannasant.

35 Heliodorus hefyd (wedi iddo offrymmu aberth i'r Arglwydd, a gwneuthur mawr addunedau i'r hwn a ganiattasai iddo ei hoedl, ac wedi iddo gyfarch Onïas) a ddychwelodd efe a'i lu at y brenhin:

36 Gan dystiolaethu i bawb weithredoedd mawrion Duw, y rhai a welsai efe â'i lygaid.

37 Hefyd pan ofynnodd y brenhin i Heliodorus pwy oedd gymhesur i'w ddanfon unwaith drachefn i Jerusalem, efe a ddywedodd,

38 Od oes gennyt un gelyn, neu un bradwr, danfon hwn yno, a thi a'i derbyni wedi ei ffrewyllu, os diangc rhag colli ei hoedl: o blegid yn y man hwnnw y mae yn ddïammau enwedig allu Duw.

39 Canys yr hwn sydd ganddo breswylfa nefol, sydd yn olygwr ac yn gynnorthwywr i'r lle hwnnw; yr hwn sydd yn curo ac yn difetha y sawl sydd yn dyfod i wneuthur niweid iddo.

40 Hyn a fu am Heliodorus, a chadwedigaeth y drysorfa.

## PEN. IV.

1 *Simon yn rhoi enllib i Onïas.* 7 *Jason trwy lygru'r brenhin yn cael myned yn Arch-offeiriad:* 24 *A Menelaus trwy'r unrhyw foddion yn cael y swydd oddi ar Jason.* 34 *Andronicus trwy frad yn lladd Onïas:* 36 *A'r brenhin wedi clywed hynny yn peri lladd Andronicus.* 39 *Annuwioldeb Lysimachus, trwy annog Menelaus.*

Y Simon hwnnw hefyd, am yr hwn y dywedasom o'r blaen, yr hwn oedd fradychwr yr arian a'i wlad, a ddywedodd yn ddrwg am Onïas, megis pe cymhellasai efe Heliodorus, a phe buasai yn awdur o'r drygau hyn.

2 Ac efe a feiddiodd alw y gwr a haeddasai yn dda ar y ddinas, ac oedd ofalus am ei wladwŷr, gwr mawr ei zel am y cyfreithiau, yn fradychwr.

3 Pan gynnyddodd y galanasdra yn gymmaint a lladd o un o'r rhai oedd gymmeradwy gan Simon, gelanedd,

4 Onïas gan ystyrio enbydrwydd y gynnen hon, a bod Apolonius llywodraethwr Cœlosyria a Phenice yn ynfydu, ac yn chwanegu malais Simon:

5 Efe a aeth at y brenhin, nid i gyhuddo gwŷr ei wlad, ond fel un yn ceisio lles i bawb yn gyffredinol, ac yn neillduol.

6 Canys efe a welodd fod yn anmhossibl cael heddwch, oddi eithr i'r brenhin gymmeryd trefn yn y matterion hyn, ac nad oedd debyg y peidiai Simon â'i ynfydrwydd.

7 Ond wedi marw Seleucus, a chym- 175.
meryd o Antiochus, a gyfenwid Epiphanes, y frenhiniaeth, Jason brawd Onïas a weithiodd yn ddirgel i geisio bod yn Arch-offeiriad;

8 Gan addo i'r brenhin er cael y swydd, dri chant a thrugain talent o arian, ac o ryw ardreth arall bedwar ugain talent.

9 Am ben hyn, efe a addawodd dalu deg
a deugain a chant eraill, os canhiadid iddo
trwy ei awdurdod ef, osod [a] campfa, ac [a] 1 Mac. 1.
ysgol i'r gwŷr ieuaingc, ac i gyfrif y rhai o 14.
Jerusalem yn Antiochiaid.

10 A phan gafodd efe yr Arch-offeiriadaeth trwy fodd y brenhin, yn y man efe a ddenodd ei genedl ei hun i arferion y Groegwŷr,

11 Ac a fwriodd i lawr garedigol ragorfraint yr Iuddewon, a gawsent hwy
trwy [b] Ioan tad Eupolemus, (yr hwn a fua- [b] Edrych
sai yn genhadwr at y Rhufeiniaid, i ddy- 1 Mac. 8.
muno cyfeillach a chymmorth,) a chan 17.
fwrw i lawr y llywodraeth oedd wrth y gyfraith, efe a wnaeth newydd ordeiniadau anghyfreithlawn.

12 Canys efe a adeiladodd gampfa o'i wir-fodd dan y castell, ac a ddarostyngodd y rhai pennaf o'r gwŷr ieuaingc, ac a barodd iddynt wisgo hettiau.

13 Ac fel hyn y tyfodd serch i ganlyn arferau y Cenhedloedd, ac estroniaid, trwy ragorol aflendid Jason, nid yr Arch-offeiriad, ond y dŷn annuwiol;

14 Yn gymmaint ag nad oedd yr offeiriaid mwyach yn ewyllysgar i wasanaethu'r allor; ond gan ddirmygu'r Deml, ac esgeuluso'r ebyrth, yr oeddynt yn prysuro i fod yn gyfrannog o ddogn annuwiol eu campau, yn ol taflu'r garreg;

15 Ac heb ganddynt bris am anrhydedd eu tadau, gan gyfrif gogoniant y Groegwŷr yn oreu.

16 O achos yr hyn bethau y daeth arnynt adfyd mawr, tra caffent hwy yn elynion ac yn ddïalwŷr iddynt, arferau y rhai yr oeddynt yn eu canlyn, ac yn dymuno eu bod yn gyffelyb iddynt ym mhob peth.

17 Canys nid esmwyth yw gwneuthur yn erbyn cyfraith Dduw. Ond yr amser a ddaw a ddengys hyn.

18 Pan chwareuid yn Tyrus y campau a 174.
arferid bob pum mlynedd, a'r brenhin yn bresennol,

19 Jason y dŷn ysgeler hwnnw a ddanfonai genhadau o Jerusalem yn rhith Antiochiaid, i ddwyn tri chan dryll o arian tu ag at aberth Hercules, y rhai a ddeisyfiai y neb oedd yn eu dwyn, na threulid ynghylch yr aberth, o blegid nad gweddaidd oedd, ond eu harbed i anghenrhaid arall.

20 Efe a ddanfonodd y pethau hyn tu ag at aberth Hercules: ond er mwyn y neb

a'u dygent, hwy a roddwyd tû ag at wneuthur llongau.

173 21 Wedi danfon Apolonius mab Manasteus i'r Aipht, i goronedigaeth brenhin Ptolomëus Philometor, a phan ddeallodd Antiochus ei fod efe yn anffyddlon yn ei fatterion ef, efe a fu ofalus am ei ddïogelwch ei hun: am hynny efe a ddaeth i Joppe, ac oddi yno efe a aeth i Jerusalem:

22 Lle y croesawyd ef yn fawr gan Jason a'r ddinas, ac y dygwyd ef i mewn â ffaglau ac â llefain; ac yn ol hyn efe a arweiniodd ei lu i Phenice.

23 Hefyd yn ol tair blynedd, Jason a ddanfonodd Menelaus brawd Simon, am yr hwn y soniasom o'r blaen, i ddwyn arian i'r brenhin, ac i'w rybuddio ef am bethau angheurhaid.

24 Ond pan ddygwyd ef ger bron y brenhin, efe a'i mawrygodd yn ei wydd, ac a gafodd yr Arch-offeiriadaeth iddo ei hun: canys efe a roddes am dani hi dri chan talent o arian mwy nâ Jason.

25 Felly pan gafodd efe orchymynion oddi wrth y brenhin, efe a ddaeth adref heb ynddo ddim yn haeddu yr Arch-offeiriadaeth, ond calon gorthrymmwr creulon, a gwŷniau anifail gwyllt.

26 Felly Jason, yr hwn a dwyllasai ei frawd ei hun, wedi ei dwyllo gan arall, a'i fwrw allan, a ffodd i wlad yr Ammoniaid.

171. 27 Ond Menelaus, pan gafodd yr oruchafiaeth, ni chymmerodd drefn iawn am yr arian a addawasai efe i'r brenhin, ond Sostratus ceidwad y castell a'u gofynnodd hwy iddo.

28 Canys i hwn y perthynai codi'r ardrethion. Am hynny y ddau hyn a gyrchwyd ger bron y brenhin.

29 A Menelaus a adawodd yn yr Arch-offeiriadaeth Lysimachus ei frawd; a Sostratus a adawodd Crates, yr hwn oedd lywodraethwr Cyprus, yn ei le.

30 Pan wnelid y pethau hynny, y digwyddodd i wŷr Tharsus a Malot wneuthur terfysg *yn erbyn y brenhin*, o blegid eu rhoddi hwynt i Antiochus gordderch y brenhin.

31 Am hynny y brenhin a ddaeth ar frys i ostegu'r *derfysg* honno, gan adael Andronicus, un o'r gwŷr pennaf ei awdurdod, yn rhaglaw iddo.

32 Menelaus hefyd, gan dybio cael o hono amser cyfaddas, a gymmerth rai o lestri aur y deml, ac a'u rhoddes i Andronicus, ac a werthodd eraill yn Tyrus, a'r dinasoedd oddi amgylch.

33 A phan wybu Onïas hyn yn hysbys, efe a'i hargyoeddodd ac a dynnodd o'r neilldu i noddfa yn Daphne, yr hon sydd yn ymyl Antiochia.

34 Am hynny Menelaus a gymmerth o'r neilldu Andronicus, ac y ddymunodd arno ddal Onïas. Felly efe a ddaeth at Onïas, ac a'i perswadiodd ef trwy dwyll, gan roddi iddo ei law ddehau, a'i lw, (er ei fod efe yn ei ammau ef,) ac a'i denodd i ddyfod allan o'r noddfa: felly yn ddisymmwth efe a'i carcharodd ef heb ganddo bris am gyfiawnder.

35 O herwydd paham nid yr Iuddewon yn unig, ond hefyd llawer o genhedloedd eraill a gyffroisant, ac a fu drwm dros ben ganddynt anghyfiawn laddiad y gwr hwn.

36 Hefyd pan ddychwelodd y brenhin o dueddau Cilicia, yr Iuddewon, y rhai oedd yn y ddinas, a achwynasant wrtho, gan fod y Groegwŷr hefyd yn cyd-synio â hwynt, o achos adgasrwydd y weithred, o blegid lladd Onïas heb achos.

37 Am hynny Antiochus a dristaodd yn fawr yn ei galon, ac a dosturiodd, ac a wylodd, o herwydd mawr ddiriondeb a gostyngeiddrwydd yr hwn a laddasid.

38 Ac am hynny wedi ei ennynnu â digllonedd, efe a ddïosgodd Andronicus o'i borphor, ac a rwygodd ei ddillad, ac a'i harweiniodd ef o amgylch y ddinas, i'r fàn lle y lladdasai efe Onïas, ac yno y dïeneidiodd efe y llofrudd. Felly yr Arglwydd a dalodd iddo deilwng gospedigaeth.

39 Ond yn ol i Lysimachus wneuthur llawer gweithred ddrwg yn y ddinas trwy gyngor Menelaus, a myned o'r chwedl allan; cynnulleidfa a ymdyrrodd ynghŷd yn erbyn Lysimachus, canys yn awr efe a ddygasai allan lawer o lestri aur *y deml.*

40 Y cyffredin bobl a godasant ar hynny yn llawn llid, a Lysimachus a wisgodd ag arfau ynghylch tair mil o wŷr, ac a ddechreuodd wneuthur trawsder; ac un Auranus oedd yn flaenor iddynt, yr hwn oedd wedi myned ymhell mewn oedran, ac nid dim llai mewn ynfydrwydd.

41 Ond pan wybuant amcan Lysimachus, rhai a geisiasant gerrig, rhai bastynau, a rhai a daflasant ddyrneidiau o'r llwch oedd ger llaw at Lysimachus, a'r rhai oedd yn gosod arnynt.

42 Trwy ba fodd y clwyfasant lawer o honynt, ac y lladdasant rai, a rhai eraill a yrrasant i ffoi; ond anrheithiwr yr Eglwys a laddasant hwy ger llaw'r trysordy.

43 O blegid hyn fe achwynwyd yn erbyn Menelaus, o herwydd yr achosion hyn.

44 A phan ddaeth y brenhin i Tyrus, fe ddanfonwyd tri wŷr oddi wrth y Senedd, y rhai a achwynasant arno ef.

45 Ond Menelaus, wedi colli'r maes, a
addawodd lawer o arian i [c] Ptolomeus fab c 1 Mac. 3.
Dorymenes, er gwneuthur y brenhin yn 38.
foddlon.

46 Am hynny Ptolomeus a aeth â'r brenhin o'r neilldu i ryw gyntedd i ymoeri, ac a drôs ei feddwl ef:

47 Yn gymmaint ag iddo ryddhâu Menelaus, achos yr holl ddrwg, oddi wrth yr achwynion, a barnu y rhai truain hyn i angau, y rhai pe dadleuasent eu matter ger bron y Scythiaid, hwy a gawsent eu gollwng yn ddïeuog.

48 Fel hyn yn fuan y cospwyd hwy yn anghyfiawn, y rhai o'r blaen a ddadleuasant dros y ddinas, dros y bobl, a thros y llestri sanctaidd.

49 Am hynny gwŷr Tyrus, yn gas ganddynt yr anwiredd hyn, a roddasant yn helaeth bob peth a berthynai i'w claddedigaeth hwy.

50 Ond Menelaus, trwy awydd y rhai oedd mewn gallu, a wnaed yn fradychwr y dinaswŷr, ac a arhoes yn ei swydd, gan chwanegu ei falais.

## PEN. V.

2 *Yr arwyddion a'r argoelion a welwyd yn Jerusalem.* 7 *Anwiredd a diwedd Jason.* 11 *Antiochus yn erlid yr Iuddewon.* 15 *Anrheithio'r deml.* 27 *Maccabëus yn ffoi i'r anialwch.*

YNGHYLCH yr amser hwnnw Antiochus a ddarparodd ei ail daith i'r Aipht.

2 A'r pryd hynny digwyddodd trwy'r holl ddinas dros ddeugain niwrnod agos, fod gwŷr meirch yn rhedeg yn yr awyr, mewn gwisgoedd aur, a lluoedd o wŷr â gwaywffyn.

3 A megis tyrfaau o wŷr meirch mewn byddin, yn ymdrechu, ac yn rhedeg y naill yn erbyn y llall, dan ysgwyd eu tariannau, a llaweroedd o bicellau, a thynnu cleddyfau, a saethu saethau, a disgleirdeb eu harfau aur, a phob math ar lurigau.

4 Am hynny pob dŷn a weddïodd ar ddyfod o'r arwyddion hynny i ddaioni.

5 Yr awr hon pan aeth chwedl celwydd allan, megis pe newidiasai Antiochus fyd, Jason a gymmerth nid llai nâ mil o wŷr, ac a ruthrodd yn ddisymmwth ar y ddinas, ac wedi gorchfygu'r rhai oedd ar y gaer, ac o'r diwedd ynnill y ddinas, fe a ffodd Menelaus i'r castell.

6 Ond Jason a laddodd ei ddinaswŷr ei hunan, heb arbed un; heb feddwl fod llwyddiant yn erbyn ei genedl yn fwyaf aflwyddiant, ond gan dybied orchfygu o hono ei elynion, nid ei gyd-wladwŷr.

7 Er hynny ni chafodd efe yr oruchafiaeth, ond yn niwedd ei gynllwyn efe a gafodd gywilydd, ac a ffodd drachefn, ac a aeth i wlad yr Ammoniaid.

8 Am hynny efe a gafodd ddiwedd ei ddrwg fuchedd, *sef* efe a garcharwyd gyd ag Aretas brenhin yr Arabiaid, ac a ffodd o ddinas i ddinas, a phawb yn ei ymlid, ac yn ei gasau, megis gwrthodwr y gyfraith, ac yn ei felldithio megis gelyn ei wlad a'i ddinaswŷr, efe a fwriwyd allan i'r Aipht.

9 A'r hwn a barasai i lawer grwydro allan o'u gwlad, a ddarfu am dano ei hun allan o'i wlad, wedi iddo fyned at y Lacedemoniaid, dan obaith cael yno swcr, o herwydd carennydd.

10 A'r hwn a fwriasai allan liaws heb eu claddu, ni alarodd neb drosto, ac ni chafodd fedd yn y byd, ïe ni chafodd feddrod ei dadau.

11 Ond pan wybu'r brenhin y pethau
hynny, efe a feddyliodd y syrthiai'r Iuddew-
on oddi wrtho am y pethau a wnaethid:
[a] 1 Mac. 1. 20, &c. am hynny [a] efe a ddaeth yn gynddeiriog
o'r Aipht, ac a ynnillodd y ddinas ag ar-
fau,

12 Ac a orchymynodd i'w filwŷr nad arbedent neb a gyfarfyddai â hwynt, a lladd y neb a ddringai i'w tai.

13 Felly y gwnaed lladdfa ar wŷr ieuaingc a henafgwŷr, a dinystr ar wŷr a gwragedd, a phlant; a gwyryfon a bechgyn a ddifethwyd.

14 Yn gymmaint a difetha o honynt bedwar-ugain mil mewn tri diwrnod: deugain mil a gaeth-gludwyd, ac eraill nid llai nâ'r rhai a laddasid, a werthwyd.

15 Ac heb fod yn foddlon er hyn, efe a feiddiodd fyned i mewn i'r deml sancteiddiaf yn yr holl fyd, gan gael iddo yn flaenor Menelaus, yr hwn oedd fradychwr ei wlad a'r gyfraith:

16 Ac â dwylaw ysgeler efe a gymmerodd y llestri sanctaidd, a pha beth bynnag a roddasid yno i'w cadw gan frenhinoedd eraill, er cynnydd, a gogoniant, ac anrhydedd i'r màn hwnnw, efe a'u teimlodd â dwylaw aflan.

17 Balchïodd Antiochus hefyd, heb ystyried, mai o blegid pechodau y rhai a breswylient yn y ddinas y digiasai'r Arglwydd dros ychydig, ac am hynny bod dirmyg ar y màn hwnnw.

18 Canys oni buasai iddynt hwy ymdroi
o'r blaen mewn cynnifer o bechodau, hwn
hefyd er cynted ag y daethai i mewn, wedi
ei fflangellu yn ddisymmwth, a droisid oddi
wrth ei hyfder, [b] megis Heliodorus, yr hwn [b] Pen. 3.
a ddanfonasid oddi wrth Seleucus y brenhin, 25, 26.
i weled y trysordy.

19 Ond nid o herwydd y lle y dewisasai 'r Arglwydd y bobl, ond o herwydd y bobl y dewisasai efe y lle *hwnnw*.

20 Ac am hynny y lle hwnnw, yr hwn a fu yn gyfrannog o adfyd y bobl, a wnaed wedi hynny yn gyfrannog o ddoniau'r Arglwydd; a'r hwn a wrthodwyd yn nigofaint yr Holl-alluog, a gyweiriwyd drachefn â phob gogoniant trwy gymmod yr Arglwydd goruchaf.

21 Am hynny Antiochus wedi dwyn allan 170.
o'r deml fil a phedwar ugain talent, a aeth
yn gyflym i Antiochia, gan dybied o wir
falchder y gallai efe wneuthur y tir yn fôr,
a'r môr hefyd yn dir, i'w gerdded ar draed:
cyfryw falchder oedd ynddo.

22 Ond [c] efe a adawodd swyddogion i [c] 1 Mac. 1.
orthrymmu'r bobl, sef yn Jerusalem, Phy- 51.
lip gwr o Phrygia, yr hwn oedd yn ei
arferion yn greulonach nâ'r hwn a'i gosod-
asai ef;

23 Ac yn Garizim, Andronicus; a hefyd Menelaus, yr hwn oedd flinach i'r dinaswŷr nâ'r lleill i gyd, a chanddo feddwl cynfigennus yn erbyn yr Iuddewon ei wladwŷr.

24 Ac efe a ddanfonodd [d] Apolonius ty- [d] 1 Mac. 1.
wysog melldigedig, â llu o ddwy fil ar hu- 29.
gain, gan orchymyn iddynt ladd pawb a'r 168.
oedd mewn oedran, ond gwerthu'r gwragedd
a'r rhai ieuaingc.

25 Yntau pan ddaeth i Jerusalem, a gymmerodd arno fod yn heddychol, ac a ymattaliodd hyd y sanctaidd ddydd Sabboth; ac yna yn cael yr Iuddewon yn cadw gwyl, efe a orchymynodd i'w ryfelwŷr gymmeryd eu harfau.

26 Ac felly efe a laddodd bawb a'r a aethai allan i edrych arnynt, a chan redeg yma a thraw trwy'r ddinas mewn arfau, efe a laddodd liaws.

27 Ond Judas Maccabëus, a naw eraill
gyd ag ef, [e] a giliodd i'r anialwch, ac efe [e] 1 Mac. 1.
a'i gyd-ymdeithion a fu fyw yn y mynydd- 53.
oedd fel anifeiliaid, gan fwytta beunydd Heb. 11.
† y glas-wellt, rhag eu gwneuthur yn gyfran- 38.
nogion o'r ffieidd-dra hwnnw. † *lysiau y ddaear.*

## PEN. VI.

*1 Cymmell yr Iuddewon i ymadael â chyfraith Dduw. 4 Halogi Teml Dduw. 8 Creulondeb yn erbyn y bobl a'r gwragedd. 12 Cyngor i ddioddef cystudd, trwy esampl o wroldeb Eleazarus, a arteithiwyd yn greulon.*

YCHYDIG yn ol hynny y brenhin a 164.
ddanfonodd henafgwr o † Antiochia, † *Athen.*
i gymmell yr Iuddewon i ymado â chyfreithiau eu tadau, fel na's llywodraethid hwy mwyach wrth gyfraith Dduw.

2 Ac i halogi'r deml oedd yn Jerusalem, efe a'i galwodd *yn deml* Jupiter Olympius; a'r hon oedd yn Garizim (megis y rhai a gyfanneddent yn y màn hwnnw) a alwodd efe *yn deml* Jupiter lletteugar.

3 Dyfodiad yr aflwydd yma oedd drwm a blin i'r bobl.

4 Canys y deml a lànwyd o lythineb a meddwdod, gan y Cenhedloedd, y rhai oeddynt yn ymchwarae â phutteiniaid, ac oddi amgylch y lleoedd sanctaidd yn bod iddynt a wnelent â gwragedd, a hefyd yn dwyn i mewn bethau nid ydoedd weddaidd.

a Mac. 1. 47. 5 [a] A'r allor a lanwasid o bethau anghyfreithlawn, y rhai á waharddasai y gyfraith.

6 Nid rhŷdd oedd chwaith gadw'r Sabboth, na chadw gwyliau eu hynafiaid, nac yn eglur gyfaddef eu bod yn Iuddewon.

7 Ar ddydd genedigaeth y brenhin, yr oedd yn gorfod iddynt heb ddïolch, fyned bob mis i fwytta o'r ebyrth. A phan gedwid gwyl Bacchus, fe a orfyddai iddynt fyned yn orfoleddus, ag eiddew ganddynt, er anrhydedd i Bacchus.

† *Cenhedloedd.* 8 Ac fe aeth gorchymyn allan i ddinasoedd cyfnesaf y † Groegwŷr, trwy gyngor Ptolomeus, yn erbyn yr Iuddewon, ar iddynt ddilyn yr unrhyw arferion, a bod yn gyfrannogion o'u hebyrth hwynt;

9 Ac ynghylch lladd y rhai ni's mynnent ganlyn arferion y Groegwŷr. Y pryd hynny y gallasai un weled y gofid presennol.

b 1 Mac. 1. 60. 10 Canys [b] dygwyd allan ddwy o wragedd, y rhai a enwaedasent ar eu plant, ac wedi eu harwain yn amlwg oddi amgylch y ddinas, a'r rhai bychain ynghrog wrth eu bronnau, hwy a fwriwyd i lawr bendramwnwgl oddi ar y gaer.

11 Rhai eraill a gyd-redasent yn eu mysg eu hunain i ogofeydd, fel y gallent yn ddirgel gadw'r seithfed dydd, a gyhuddwyd wrth Phylip ac a gyd-losgwyd: o blegid ni feiddient eu helpu eu hunain, o herwydd parch ar y dydd anrhydeddus.

12 Am hynny yr wyf yn attolwg i'r rhai a ddarllenant y llyfr hwn, na's digysurer hwy o herwydd yr adfyd hyn: ond meddyliant fod y cospedigaethau hyn yn perthynu nid i ddinystr, ond i geryddiad ein cenedl ni.

13 Canys pan na's goddefir y rhai a wnelant yn annuwiol, ond syrthio o honynt yn gyflym i gospedigaeth, arwydd yw hyn o fawr ddaioni Duw.

14 Canys nid yw yr Arglwydd yn hiraros wrthym ni, megis wrth genhedloedd eraill, y rhai y mae efe yn eu cospi pan ddelont i gyflawndra eu pechodau, ond fel hyn y bu dda ganddo wneuthur â ni,

15 Rhag gorfod iddo ddïal arnom pan gyflawnid ein pechodau.

16 Am hynny ni ddwg byth mo'i drugaredd oddi wrthym; ond dan eu ceryddu ag adfyd, nid ymedy efe â'i bobl ei hun.

17 A bydded hyn a ddywedasom yn rhybudd i ni. Bellach ni a ddeuwn at y traethawd ar ychydig eiriau.

18 Eleazar, rhyw un o'r ysgrifenyddion pennaf, yn wr oedrannus, a glân o bryd, a orfu iddo agoryd ei enau, a bwytta cig moch.

c Heb. 11. 35. 19 Ond efe yn well ganddo farw mewn parch, nâ byw wedi gwneuthur y fath ffieidddra, a aeth yn ewyllysgar i'r [c] poenau, ac a'i poerodd allan,

20 Fel y gweddai iddynt hwy ddyfod, y rhai sydd yn ymroi yn lân i sefyll yn erbyn y cyfryw bethau nid cyfreithlawn eu profi, er serch ar einioes

21 Ond y rhaï a osodasid yn llywodraethwŷr y wledd annuwiol honno, o blegid y gydnabod oedd rhyngddynt er ys talm â'r gwr hwn, a'i cymmerasant o'r neilldu, ac a'i hannogasant i gymmeryd y cig a ddarparai efe ei hun, ac i arfer y pethau oedd gyfreithlon iddo; ond cymmeryd o hono arno megis pe bwyttaci o gig y wledd, yn ol y pethau a orchymynasid *iddo* gan y brenhin:

22 Fel y gallai wrth hyn ei achub ei hun oddi wrth angau, a derbyn y caredigrwydd hyn, er mwyn yr hen gydnabod oedd rhyngddynt.

23 Ond efe gan gymmeryd meddwl pwyllog, megis y gweddai i'w oedran, ac i ragoriaeth ei henaint, a'i wallt llwyd parchedig, ac i'w rinweddol fuchedd er yn fachgen, ie yn hytrach megis ag y gweddai i sanctaidd a duwiol gyfraith Dduw, a attebodd iddynt, gan attolwg ei ollwng yn fuan i'w feddrod.

24 Canys nid gweddaidd, eb efe, yw i'n hoedran ni ragrithio, fel y tybio llawer o wŷr ieuaingc ddychwelyd o Eleazar, yn ddeng-mlwydd a phedwar ugain o oed, at arferion dïeithr,

25 Ac yr hudid hwythau hefyd o blegid fy rhagrith i, er mwyn ychydig amser i fyw, ac y byddai i mi ddwyn gwaradwydd a dirmyg i'm henaint.

26 Canys er i mi allu dïangc dros yr amser presennol oddi wrth gospedigaeth ddynol: etto ni's gallaf ffoi oddi wrth law yr Hollalluog, nac yn fyw nac yn farw.

27 Am hyn gan newidio bywyd yn wrol, mi a'm dangosaf fy hun yn addas i'm henaint:

28 Yna y gadawaf i'r rhai ieuaingc siampl nodedig i farw yn ewyllysgar ac yn wrol dros y sanctaidd a'r anrhydeddus gyfraith. Ac wedi dywedyd hyn efe a aeth yn gyflym i'w arteithio.

29 Yna y rhai a'i harweinient, a droisant eu hewyllys da iddo o'r blaen yn llid wrtho, pan glywsant ei ymadrodd: canys tybio a wnaethant ei fod wedi ynfydu.

30 Hefyd pan oedd ar farw o blegid y dyrnodiau, efe a ddywedodd, gan ocheneidio, Eglur yw i'r Arglwydd, yr hwn sydd ganddo sanctaidd wybodaeth, mai pan allaswn fy ngwaredu fy hun o angau, ddioddef o honof fy nghuro yn dost ar hŷd fy nghorph, a'm bod yn ewyllysgar yn dioddef y pethau hyn o ran fy mod yn ei ofni ef.

31 Fel hyn y bu efe farw, gan adael ei farwolaeth yn siampl o galon ddihafarch, ac yn goffa am rinwedd nid yn unig i'r gwŷr ieuaingc, ond i lawer eraill hefyd o'i genedl.

## PEN. VII.

*Dïanwadalwch a marwolaeth saith o frodyr â'u mam yn yr un dydd, am na fwyttaent gig moch wrth orchymyn y brenhin.*

DIGWYDDODD hefyd ddâl saith brodyr â'u mam, a pheri o'r brenhin iddynt yn erbyn y gyfraith fwytta cig moch; a hwy a gurwyd â ffangellau a gwïail.

2 Ond un o honynt, yr hwn a ddadleuodd yn gyntaf, a ddywedodd, Pa beth yr wyt ti yn ei geisio? a pha beth a fynni di ei wybod genym ni? canys yr ydym ni yn barod i farw yn gynt nag y torrwn ni gyfreithiau ein tadau

3 Yna y cythruddodd y brenhin, ac y pa-
rodd dwymno pedyll a pheiriau;
4 Y rhai yn y man a wnaethwyd yn bo-
eth; ac efe a orchymynodd dorri allan dafod
yr hwn a ddadleuasai yn gyntaf, a'i flingo
ef, a thorri ymaith ei aelodau eithaf yngolwg
ei frodyr eraill a'i fam.
5 Weithian pan na ellid dim o hono ef,
efe a barodd ei ddwyn ef i'r tân, a'i ffrio yn
fyw. A thra yr oedd y mwg dros hir o am-
ser yn myned allan o'r pair, y brodyr eraill
a'u mam a annogent eu gilydd i farw yn
wrol, gan ddywedyd fel hyn,
6 Y mae'r Arglwydd Dduw yn edrych
arnom, ac yn ddiau efe a gymmer ddiddan-
wch o honom ni, megis y mynegodd [a] Mo-
ses yn ei ganiad, yn yr hwn y tystiolae-
thodd wrth eu hwynebau hwynt, gan ddy-
wedyd, Ac efe a gymmer ddiddanwch yn ei
weision.

[a] Deut. 32. 6.

7 Wedi marw o'r cyntaf fel hyn, hwy
a ddygasant yr ail i'w wneuthur yn wat-
worgerdd. Ac wedi iddynt dynnu croen
ei ben ef a'i wallt, hwy a ofynnasant iddo,
A fwyttai di cyn merthyru pob aelod o'th
gorph?
8 Ond efe a attebodd yn iaith ei wlad,
Na wnaf. Am hynny hwn hefyd fel y cyn-
taf a ferthyrwyd yn gyflym.
9 A phan oedd yn rhoddi i fynu'r ys-
pryd, efe a ddywedodd, Tydi lofrudd wyt
yn dwyn ein bywyd presennol oddi arnom,
ond Brenhin y byd a'n cyfyd ni (y rhai
ydym yn meirw dros ei gyfreithiau ef) i fy-
wyd tragywyddol.
10 Yn ol hwn y dygwyd y trydydd hefyd
i'w watwar. A phan ofynnasant am ei da-
fod, efe a'i hestynnodd allan yn ebrwydd, ac
a ledodd ei freichiau yn hŷ.
11 Ac a lefarodd yn wrol, Y rhai hyn a
gefais i gan *Dduw* o'r nef, a'r rhai hyn yr
ydwyf fi yn eu dirmygu er mwyn ei gyf-
reithiau ef, ac yr ydwyt yn gobeithio derbyn
y rhai hyn eilwaith ganddo ef:
12 Yn gymmaint ag i'r brenhin a'r rhai
oedd gyd ag ef synnu a rhyfeddu wrth ga-
londid y gwr ieuangc, o blegid nid oedd efe
yn prisio am ei boenau.
13 Ac yn ol marw hwn hwy a ferthyra-
sant y pedwerydd hefyd yr un modd.
14 Yr hwn pan ydoedd agos a marw, a
ddywedodd fel hyn, Da ydyw, pan roddir
ni i farwolaeth gan ddynion i ni ddisgwyl
am obaith oddi wrth Dduw, fel y'n cyfoder
eilwaith trwyddo ef: canys i ti ni bydd cy-
fodiad i fywyd.
15 Wedi hynny hwy a ddygasant y pum-
med, ac a'i merthyrasant.
16 Yr hwn gan edrych ar y brenhin a
ddywedodd, Y mae gennyt allu ym mysg
dynion, ac er dy fod ti yn farwol, yr wyt
ti yn gwneuthur a fynnech: ond na thybia
wrthod o Dduw ein cenedl ni.
17 Ond disgwyl ennyd, a gwel ei allu
mawr ef, fel y cospa efe dydi a'th had.
18 Yn ol hwn hwy a ddygasant y
chweched; yr hwn pan ydoedd yn marw
a ddywedodd, Na siomma mo honot dy
hun heb achos: canys nyni ydym yn diod-
def y pethau hyn o'n plegid ein hunain: o
blegid pechu o honom yn erbyn ein Duw:
am hynny yr ydys yn gwneuthur *i ni* be-
thau rhyfedd.
19 Ond na feddwl di y diengi di heb dy
gospi, yr hwn wyt yn ceisio rhyfela yn er-
byn Duw
20 Ond y fam oedd yn rhyfedd-fawr rag-
orol, ac yn haeddu cof ardderchog: o ble-
gid pan welodd hi ei saith mab wedi eu
lladd mewn ysbaid diwrnod, hi a oddefodd
hynny â chalon [illegible], o blegid ei gobaith
a osodasai hi yn yr Arglwydd.
21 A hi a annogodd bob un o honynt yn
iaith ei gwlad, ac yn llawn o yspryd hi a
gymhyrfodd ei meddwl gwreigaidd â chalon
wrol, ac a ddywedodd wrthynt,
22 Ni wn i pa fodd y daethoch i'm croth
i: canys ni roddais i chwi nac anadl nac
einioes, ac nid myfi a luniodd aelodau eich
cyrph chwi.
23 Ond yn ddiau Gwneuthurwr y byd, yr
hwn a luniodd enedigaeth dŷn, ac a gafodd
allan naturiaeth pob peth, a'r hwn a rydd
eilwaith i chwi er ei drugaredd anadl a by-
wyd, yn gymmaint ag i chwi yn awr eich
dirmygu eich hunain er mwyn ei gyfreithiau
ef.
24 Ond Antiochus, gan dybio ei ddir-
mygu, a chan feddwl fod ei hymadrodd
hi yn waradwyddus, tra ydoedd yr ieu-
angaf etto yn fyw, a geisiodd ei ddenu nid
yn unig â geiriau, ond hefyd trwy addo â
llyfu ei wneuthur ef yn gyfoethog ac yn
ddedwydd, os efe a ymwrthodai â chyfreith-
iau ei dadau; a hefyd y cymmerai efe ef
megis yn gâr iddo, ac y rhoddai iddo swy-
ddau.
25 Ac o blegid na's gwrandawai y gwr
ieuangc arno er dim, efe a barodd gyrchu ei
fam, ac a eiriolodd arni hi gynghori y gwr
ieuangc i achub ei hoedl.
26 Ac wedi iddo ddeisyfu arni hynny â
geiriau lawer, hi a addawodd iddo y cyn-
ghorai hi ei mab.
27 Yna ei fam a droes atto, a chan wat-
war y gorthrymmwr creulon, hi a ddywed-
odd yn iaith ei gwlad, Fy mab, trugarhâ
wrthyf, yr hon a'th ddug di naw mis yn fy
mru, yr hon a roddais i ti laeth dair bly-
nedd, yr hon a'th ddug di i fynu hyd yn
hyn, a'r hon a oddefais orthrymderau dy
fagwraeth.
28 Attolwg i ti, fy mab, edrych ar y
nef a'r ddaear, ac edrych ar bob peth ag
sydd ynddynt, cydnebydd [b] wneuthur o
Dduw y pethau hyn o'r pethau nid oedd-
ynt, a gwneuthur rhywogaeth dŷn felly
hefyd.

[b] Rhuf. 4. 17.

29 Nac ofna mo'r cigydd hwn; ond bydd
debyg i'th frodyr, cymmer dy farwolaeth,
fel y gallwyf dy dderbyn gyd â'th frodyr yn
yr unrhyw drugaredd.
30 A thra yr ydoedd hi yn dywedyd hyn,
y gwr ieuangc a lefarodd, Beth yr ydych
chwi yn ei ddisgwyl? nid oes yn fy mryd
ufuddhâu gorchymyn y brenhin; ond myfi
a ufuddhâf orchymynion y gyfraith, y rhai
a roddwyd i'n tadau ni trwy law Moses.
31 Tithau hefyd yr hwn wyt ddychym-
mygwr pob drwg i'r Hebreaid, ni ddiengi
rhag llaw Duw:
32 Canys nyni ydym yn goddef *hyn* o
blegid ein pechodau ein hunain.
33 Ond er bod y Duw byw dros ennyd yn
digio wrthym er mwyn ein cospi a'n ce-
ryddu ni, etto efe a gymmyd drachefn â'i
weision.
34 Ond tydi, O annuwiol ac ysgeleraf o'r
holl ddynion, nac ymddyrcha yn ddïachos,
ac nac ymchwydda â gobaith ofer, gan godi
dy ddwylaw yn erbyn gweision Duw:
35 Canys ni ddiengaist ti etto rhag barn

Duw holl-alluog, yr hwn sydd yn gweled *pob peth.*

36 Fy mrodyr, y rhai weithian a oddefasant lafur byrr, ydynt yr awrhon dan sanctaidd gyfammod bywyd tragywyddol: tithau hefyd trwy farn Duw, a dderbynni gospedigaeth addas o blegid dy falchder.

37 Minnau hefyd, megis ag y gwnaeth fy mrodyr, a roddaf fy nghorph a'm heinioes dros gyfreithiau ein teidiau, gan attolwg i Dduw drugarhâu o hono yn gyflym wrth
1 Mac. 6. 13. 2 Mac. 9. 12, &c. ein cenedl ni, a pheri i [c] tithau trwy benyd a chospedigaeth gyffesu, mai efe sydd Dduw yn unig;

38 A diweddu hefyd ynof fi a'm brodyr o ddigofaint yr Holl-alluog, yr hwn yn addas a syrthiodd ar ein holl genedl ni.

39 Yna 'r brenhin wedi ei ennynnu â chynddaredd, a wynfydodd yn erbyn hwn yn fwy nâ neb, ac a fu drwm ganddo ei watwar.

40 Hwn hefyd a fu farw yn sanctaidd, gan roddi ei gwbl ymddiried yn yr Arglwydd.

41 Yn ddiwaethaf o'r cwbl, y fam yn ol ei meibion a fu farw.

42 Weithian bydded digon dywedyd hyn am *eu* gwleddau, a'u creulondeb aruthrol hwy.

## PEN. VIII.

1 *Judas yn casglu llu:* 9 *a danfon Nicanor yn ei erbyn ef; ac yntau yn rhyfygu gwneuthur arian lawer o'i garcharorion.* 16 *Judas yn rhoi calon yn ei wŷr, ac yn gyrru Nicanor i ffoi,* 28 *ac yn rhannu 'r yspail.* 30 *Difuddio gelynion eraill hefyd.* 35 *Nicanor trwy ofid yn ffoi i Antiochia.*

166. YNA Judas Maccabëus, a'r rhai oedd gyd ag ef, a aethant yn ddirgel i'r pentrefi, ac a alwasant eu ceraint ynghŷd, ac a gymmerasant y rhai oedd yn aros yn nhrefydd yr Iuddewon, ac a gasglasant ynghŷd ynghylch chwe mil o wŷr.

2 Felly hwy a alwasant ar yr Arglwydd, ar edrych o hono ar ei bobl, y rhai yr oedd pawb yn eu sathru dan draed, ac ar fod o hono yn drugarog wrth y deml, yr hon a ddarfuasai i'r dynion drwg ei halogi,

3 Ac ar dosturio o hono wrth y ddinas, yr hon ydoedd wedi ei dinystrio, ac agos yn un â'r llawr; ac ar wrando o hono ar lef gwaed y rhai a laddasid yn gweiddi arno ef;

4 Ac ar gofio o hono anghyfreithlon laddiad y plant gwirion, a'r cabl-eiriau a ddywedasid yn erbyn ei Enw, ac ar ddangos o hono ei gas yn erbyn y rhai drygionus.

5 Yna Maccabëus wedi cynnull ynghŷd ei lu, a'r Cenhedloedd heb allu ei wrthwynebu, gan droi o'r Arglwydd ei ddigofaint yn drugaredd,

6 Efe a ddaeth yn ddisymmwth, ac a losgodd y dinasoedd a'r pentrefi, ac a feddiannodd y lleoedd cymhwysaf, ac a orchfygodd, ac a yrrodd lawer o'i elynion i ffoi;

7 Ond yn bennaf efe a arferodd liw nos wneuthur cyfryw derfysgoedd, hyd onid aeth y gair o'i wroldeb ef i bob lle.

8 Ond pan welodd Phylip gynnyddu o'r gwr hwn yn fuan, o fesur ychydig ac ychydig, a'i fod ef yn wastad yn llwyddo fwyfwy; efe a 'sgrifenodd at Ptolomeus llywodraethwr Cœlosyria a Phenice, i'w swcrio ef yn achosion y brenhin.

9 Yna efe a etholodd Nicanor mab Patroclus, un o'i geraint pennaf, ac a'i danfonodd ef, gan roddi o bob rhai o'r Cenhedloedd nid llai nag ugain mil, i ddiwreiddio allan holl genedl yr Iuddewon. A hefyd efe a gyssylltodd ynghŷd ag ef Gorgias y capten, gwr cyfarwydd mewn matterion rhyfel.

10 Felly Nicanor a gymmerth arno wneuthur cymmaint o arian o'r Iuddewon [a] a 1 Mac. 3.
ddelid yn garcharorion, ag a dalai y deyrnged o ddwy-fil o dalentau, oedd ar y brenhin i'r Rhufeinwŷr. 41.

11 Am hynny efe a anfonodd yn y man i'r dinasoedd ar lân y môr, gan gynnyg ar werth yr Iuddewon a ddelid yn garcharorion, i fod yn weision iddynt, gan addo y gwerthai *iddynt* ddeg a phedwar ugain er un talent: ond nid ydoedd efe yn ystyried dial Duw, yr hwn a ddisgynnai arno ef.

12 Pan wybu Judas fod Nicanor yn dyfod, efe a fynegodd i'r rhai oedd gyd ag ef fod y llu yn agos.

13 [b] Y rhai *o honynt* oedd yn ofnus, ac 1 Mac. 3.
ni choelient i gyfiawnder Duw, ffoi a 56.
wnaethant, a myned ymaith o'r fân honno.

14 Rhai eraill hefyd a werthasant yr hyn oll a adawsid, ac a weddïasant hefyd ar yr Arglwydd, ar waredu o hono ef hwynt oddi wrth Nicanor annuwiol, yr hwn a'u gwerthasai hwynt cyn dyfod o honynt ynghŷd.

15 Ac er na's gwnelai efe hyn er eu mwyn hwynt, etto *ar iddo ei wneuthur* er mwyn ei gyfammod â'u tadau hwynt, ac er mwyn ei sanctaidd a'i ogoneddus Enw, ar yr hwn y gelwid hwy.

16 Yna Maccabëus, wedi galw ei wŷr ynghŷd, hyd yn nifer chwe mil, a'u hannogodd hwynt, [c] na ddigalonnent o blegid 1 Mac. 4.
eu gelynion, ac nad ofnent amlder y Cenhedloedd oedd yn gosod arnynt ar gam, 8.
ond rhyfela o honynt yn wrol,

17 Gan osod ger bron eu llygaid y dirdra a wnaethant ar gam i'r lle sanctaidd, a'r gurfa greulon a roddasid i'r ddinas a watwaresid, a dirymmiad y llywodraeth a dderbyniasent hwy gan eu hynafiaid.

18 Canys y maent hwy, eb efe, yn ymddiried mewn arfau a hyfder; ond ein hymddiried ni sydd yn Nuw holl-alluog, yr hwn a all ddifetha y rhai sydd yn dyfod yn ein herbyn, a'r holl fyd hefyd, ag amnaid.

19 A hefyd efe a gofiodd iddynt pa gymmorth a gawsai eu tadau, a [d] pha fodd 1 Mac. 7.
yr achubwyd hwynt pan ddarfu am gant 41. 2 Mac. 15.
a phedwar ugain a phûm mil dan Sennacherib, 22.

20 A pha ryfel a wnaethant yn Babilon yn erbyn y Galatiaid, fel y daethai o honynt hwy i gŷd i'r maes wyth mil, gyd â phedair mil o'r Macedoniaid; a phan amheuodd y Macedoniaid, yr wyth mil hynny a laddasant ugain mil a chant trwy gymmorth a roddasid iddynt o'r nef, trwy ba un y derbyniasant lawer o fudd.

21 Ac wedi iddo eu cysuro â'r geiriau hyn, a'u gwneuthur yn barod i farw dros y cyfreithiau a'r wlad, efe a rannodd ei lu yn bedair rhân;

22 Ac a wnaeth ei frodyr ei hun yn gapteniaid ar y llu, sef Simon, Joseph, a Jonathan, gan roddi i bob un bymtheg cant o ryfelwŷr.

23 Hefyd *efe a benododd* Eleazar i ddarllen y llyfr sanctaidd. Ac wedi iddo roddi iddynt yn arwydd, *Trwy* help Duw, efe yn gapten y llu blaenaf a aeth ynghŷd â Nicanor.

24 A thrwy gymmorth yr Holl-alluog, hwy a laddasant o'r gelynion uwch law naw mil, ac a glwyfasant, ac a gloffasant y rhan fwyaf o lu Nicanor, ac a yrrasant bawb i ffoi;

e Act. 10. 11, 34.
25 Ac a gymmerasant [e] arian y rhai a ddaethent i'w prynu, ac a'u hymlidiasant ym mhell; ond am fod arnynt eisiau amser, hwy a ddychwelasant.

26 Canys y dydd o flaen y Sabboth oedd efe; am hynny ni fynnent eu hymlid hwy ym mhellach.

27 Fel hyn hwy a gymmerasant eu harfau, ac a yspeiliasant y gelynion, ac a gadwasant y Sabboth, gan roi moliant a diolch anfeidrol i'r Arglwydd, yr hwn a'u cadwasai hyd y dydd hwnnw, ac a dywalltasai arnynt ddechreuad ei drugaredd.

28 Hefyd yn ol y Sabboth, hwy a rannasant ran o'r yspail i'r anafus, i'r gweddwon, ac i'r amddifaid, a'r hyn oedd yngweddill a rannasant hwy rhyngthynt eu hun a'u gweision.

29 Ac yn ol gwneuthur y pethau hyn a gwneuthur o honynt gyffredin weddi, hwy a attolygasant i'r Arglwydd trugarog gymmodi â'i weision yn dragywydd.

30 Hefyd o'r rhai oedd gyd â Thimotheus a Bacchides a fyddent yn ymladd yn eu herbyn hwy, y lladdasant uwch law ugain mil, ac a ynnillasant uchel a chadarn gestyll, ac a rannasant yspail lawer yn gyffredinol rhyngddynt hwy a'r anafus a'r amddifaid, a'r gweddwon, a'r oedrannus.

31 Ac wedi iddynt gasglu eu harfau ynghŷd, hwy a'u rhoddasant oll i gadw yn ofalus mewn lleoedd cymmwys: a'r yspail arall a arweiniasant hwy i Jerusalem.

32 Hwy a laddasant hefyd Philarches yr hwn ydoedd gyd â Thimotheus, dŷn annuwiol, ac un a wnaethai lawer o niweid i'r Iuddewon.

33 Hefyd pan oeddynt yn cadw gwyl y fuddugoliaeth yn eu gwlad, hwy a losgasant Galisthenes, yr hwn a losgasai 'r pyrth sanctaidd, ac a ffoisai i ryw dŷ bychan i'w achub ei hun: am hynny efe a dderbyniodd wobr addas am ei anwiredd.

34 A Nicanor ysgeler (yr hwn a ddygasai fil o farsiandwŷr i brynu 'r Iuddewon)

35 Wedi ei ddarostwng trwy help yr Arglwydd, gan y rhai nid oedd efe yn gwneuthur ond cyfrif o'r lleiaf o honynt, a ddiosgodd ei ddillad gwychion, ac a ollyngodd ymaith ei wŷr, ac a ddaeth fel gwas crwydrus trwy ganol y tir i Antiochia, wedi cael cywilydd mawr o ran colli ei lu.

36 Fel hyn, yr hwn a addawsai dalu teyrn-ged i'r Rhufeinwŷr o'r carcharorion oedd yn Jerusalem, a ddygodd newyddion fod gan yr Iuddewon amddiffynwr, sef Duw: ac o blegid hyn na's gallai neb wneuthur niweid iddynt, o herwydd eu bod yn cadw y cyfreithiau a orchymynasai efe iddynt hwy.

PEN. IX.

1 *Ymlid Antiochus oddi wrth Persepolis: 5 A'i daro ef â chlefyd blin, 14 ac yntau yn addo myned yn Iuddew, 28 ac yn marw yn ofidus.*

YNGHYLCH y cyfamser hwnnw y daeth 3840
Antiochus [a] allan o wlad Persia yn a 1 Mac. 6. 1, &c.
waradwyddus.

2 Canys pan ddaeth efe i Persepolis, efe a amcanodd yspeilio'r deml, a dwyn dano y ddinas: ond y bobl a redasant yn gyffrous i'w hamddiffyn eu hun â'u harfau, ac a'i gyrrasant ef i ffoi. Felly Antiochus a yrrwyd i ffoi gan y preswylwŷr, ac a ddychwelodd â chywilydd.

3 A phan ddaeth efe i Ecbatana y dywedwyd iddo ef y pethau a wnaethid i Nicanor ac i Timotheus.

4 Am hynny wedi chwyddo gan lid efe a feddyliodd ddial gwarth y rhai a'i gyrrasai ef i ffoi, ar yr Iuddewon. Am hynny efe a barodd i'r hwn ydoedd bob amser yn gyrru ei gerbyd ef, brysuro a dibennu ei daith; canys barn Duw ydoedd yn ei annog ef: o herwydd efe a ddywedasai fel hyn yn ei falchedd, Myfi a wnaf Jerusalem yn gladdfa gyffredin i'r Iuddewon, pan ddelwyf yno.

5 Ond yr Arglwydd holl-alluog, a Duw Israel a'i tarawodd ef â dialedd difeddyginiaethol, ac anweledig: canys er cynted ag y dywedasai efe y geiriau hyn, [b] dolur b 1 Mac. 6.
yn ei berfedd a ddaeth arno, yr hwn ni's 8, 9, 13.
gellid ei iachau, a gofid aruthrol yn ei fol.

6 Ac iawn oedd hynny: canys efe a boenasai berfedd gwŷr eraill ag amryw a dïeithr boenau.

7 Hwn hefyd ni pheidiai er hynny â'i uchel-fryd, ond a lenwid yn fwy â balchedd, gan anadlu allan dân yn ei ddig yn erbyn yr Iuddewon, a pheri prysuro ei daith. Eithr digwyddodd syrthio o hono ef i lawr o'i gerbyd, yr hwn ydoedd yn rhedeg yn gyflym, a gwneuthur holl aelodau ei gorph ef yn chwilfriw gan y cwymp mawr *hwnnw*.

8 Fel hyn efe, yr hwn a dybiai ychydig o'r blaen y gallai orchymyn tonnau 'r môr (cymmaint oedd ei falchedd tu hwnt i ddyn) a phwyso'r mynyddoedd uchel mewn clorian, a daflwyd ar y ddaear, ac a ddygwyd mewn elor feirch, gan fynegi i bawb amlwg allu Duw:

9 Yn gymmaint ag i [c] bryfed heidio allan c Act. 12.
o gorph yr annuwiol hwnnw, a thra ydoedd 23.
efe etto yn fyw, ei gnawd a syrthiai *i lawr* gan boen a gofid, a'i holl lu a ymofidient o blegid ei ddrygsawr ef.

10 Fel hyn nid oedd neb abl i aros i ddwyn yr hwn o'r blaen a dybiai y gallai gyrhaeddyd sêr y nefoedd, o blegid y drygsawr.

11 Am hynny wedi ei glwyfo fel hyn, efe a ddechreuodd beidio â'i falchder mawr, a dyfod i'w adnabod ei hun trwy gurfa Duw, a'i ofid, yr hwn a chwanegid bob munudyn *awr*.

12 A phan ni allodd efe aros ei sawr ei hun, efe a ddywedodd hyn, Iawn yw ymostwng i Dduw, ac i'r hwn sydd yn farwol na feddylio fod yn ogyfuwch â Duw.

13 A'r dyn ysgeler hwn a weddïodd at yr Arglwydd, (yr hwn ni chymmerai drugaredd arno mwyach,) gan ddywedyd,

14 Y rhyddhaei efe y ddinas sanctaidd, i'r hon yr oedd efe yn prysuro i'w gwneuthur yn un â'r llawr, ac yn gladdfa;

15 A hefyd y gwnai efe yn ogyfuwch â'r † Antiochiaid yr holl Iuddewon, yr oedd efe *o'r blaen* yn eu barnu yn anheilwng o gladdedigaeth, ond i'w taflu allan i'w llyngcu gan adar a bwystfilod, ynghŷd â'u plant;

† *Atheniaid.*

16 Ac yr harddai efe'r deml sanctaidd â rhoddion gwychion, yr hon o'r blaen a ddarfuasai iddo ei hyspeilio, ac y chwanegai efe y llestri sanctaidd, ac y rhoddai efe [d] o'i ardreth ei hun yr holl gost a ydoedd yn perthynu i'r ebyrth;

[d] Felly Ezra 6. 9. 1 Mac. 10. 39, 40.

17 Ac am ben hyn hefyd y byddai efe ei hun yn Iuddew, ac y rhodiai ym mhob lle cyfanneddol, gan fynegi gallu Duw.

18 Ond er hynny i gŷd ni pheidiai ei ofid-fawr boenau: canys fe ddaethai arno ef gyfiawn farn Duw. Gan annobeithio ei iechyd, efe a 'sgrifenodd at yr Iuddewon y llythyrau sy'n canlyn, ac ynddynt y fath ddeisyfiad a hyn;

19 I'r Iuddewon daionus, ei ddinaswŷr, llawenydd, a iechyd, a llwyddiant, oddi wrth Antiochus y brenhin a'r penllywydd.

20 Os ydych chwi a'ch plant yn iach, ac os yw pob peth yn ol eich dymuniant, mi a roddaf fawr ddïolch i Dduw, gan fod gennyf obaith yn y nef.

21 Am danaf fi, yr oeddwn i yn wan, oni bai hynny myfi a gofiaswn yn garedig eich parch a'ch ewyllys da. Wrth ddychwelyd o wledydd Persia, wedi syrthio mewn clefyd mawr, mi a dybiais fod yn angenrheidiol i mi ofalu am gyffredin ddïenbydrwydd pawb;

22 Nid gan anobeithio o'm hiechyd, ond gan fod gennyf obaith mawr y dïangaf o'r clefyd hwn.

23 Ond gan ystyrio hefyd ddarfod i'm tad yr amser yr arweiniodd lu i'r tueddau uchaf hyn seinio pwy a lywodraethai ar ei ol;

24 Fel os digwyddai dim amgen nag yr oedd yn gobeithio, neu os dywedid newyddion drwg yn y byd, na byddai i wŷr y wlad derfysgu, gan eu bod yn gwybod i bwy y rhoisid llywodraeth y matterion *hynny;*

25 Hefyd gan feddylio bod y pendefigion sy oddi amgylch, ac yn gymmydogion i'm teyrnas yn disgwyl amser, ac yn edrych pa beth a ddigwyddo; myfi a ordeiniais fy mab Antiochus yn frenhin, yr hwn pan oeddwn yn myned i'r gwledydd uchaf hyn, a orchymynais yn fynych i lawer o honoch chwi, ac a 'sgrifenais atto ef y modd y mae yn canlyn, yr ysgrifen yma.

26 Am hynny yr wyf yn eiriol arnoch chwi, ac yn deisyfu ar goffa o honoch y cymmwynasau a wneuthum i chwi yn amlwg ac yn ddirgel, a bod o bawb o honoch yn wastad yn ffyddlon i mi ac i'm mab.

27 Canys dïau gennyf y ceidw efe yn gyfan ac yn ddihalog, y cyngor a roddais iddo yn eich cylch chwi.

28 Fel hyn y llofrudd a'r cablwr, wedi iddo oddef gofid lawer, megis ag y gwnaethai efe i eraill, a fu farw trwy farwolaeth flin mewn gwlad ddïeithr.

29 A Phylip ei frawd-maeth ef a ddug ymaith ei gorph ef: yr hwn hefyd rhag ofn mab Antiochus a ffodd i'r Aipht at Ptolomeus Philometor.

## PEN. X.

1 *Judas yn ynnill y ddinas yn ei hol, ac yn glanhâu'r deml.* 14 *Gorgias yn blino'r Iuddewon.* 16 *Judas yn ynnill eu hamddiffynfeydd hwy.* 29 *Gorchfygu Timotheus a'i wŷr.* 35 *Ynnill Gazara, a lladd Timotheus.*

MACCABEUS hefyd a'r rhai oedd gyd ag ef, trwy fod yr Arglwydd yn llywydd *iddynt,* a ynnillodd drachefn y ddinas a'r deml.

2 A hwy a fwriasant i lawr yr allorau a'r capelau a wnaethai'r Cenhedloedd yn yr heolydd.

3 Ac wedi glanhâu'r deml, [a] hwy a wnaethant allor arall: ac wedi iddynt daro tân allan o gerrig tanllyd, hwy a offrymmasant aberth yn ol dwy flynedd, ac a arlwyasant arogl-darth, a llusernau, a bara gosod.

[a] 1 Mac. 4. 47.

4 Wedi hynny hwy a attolygasant i'r Arglwydd, gan syrthio i lawr ar eu hwynebau, na byddai iddynt mwyach syrthio mewn cyfryw ddrygau; ond, o's pechent drachefn un amser, bod iddo ef ei hun eu cospi trwy drugaredd, ac na's rhoddai ddim o honynt mwy i'r cablaidd a'r creulon genhedloedd.

5 [b] A'r dydd hefyd yr halogasid y deml gan y dïeithriaid, y digwyddodd gwneuthur puredigaeth y deml yr un dydd, sef y pummed dydd ar hugain o fis Casleu.

[b] 1 Mac. 4. 52.

6 A hwy a gadwasant â llawenydd wyth niwrnod, megis ar ddydd gwyl y pebyll, gan gofio fel y gorfuasai iddynt ychydig o'r blaen gadw gwyl y pebyll yn y mynyddoedd a'r ogofeydd yn ol modd anifeiliaid.

7 Am hynny hwy a gymmerasant ganghennau, a cheingciau hardd, a blodeu, ac a ganasant Psalmau i'r hwn a roddasai iddynt rwydd-deb i lanhâu ei fangre *ei hun.*

8 [c] Hwy a ordeiniasant hefyd trwy gyffredin orchymyn a deddf, bod ym mysg holl genedl yr Iuddewon gadw y dyddiau hyn *yn wyl* bob blwyddyn.

[c] 1 Mac. 4. 59.

9 Ac fel hyn y bu ddiwedd Antiochus a gyfenwid Epiphanes.

10 Weithian hefyd ni a fynegwn y pethau a wnaethpwyd yn amser Eupator Antiochus, yr hwn ydoedd fab y gwr annuwiol hwnnw, gan grynhoi ynghŷd y drygau, y rhai o blegid rhyfeloedd a ganlynasant.

11 Canys hwn, wedi cymmeryd arno y deyrnas, a osododd ryw un a elwid Lysias, i fod yn olygwr ar *ei* fatterion, ac a'i pwyntiodd ef yn ben-capten ar Cœlosyria a Phenice.

12 Canys Ptolomeus, yr hwn a enwasid Macron, (a'i fryd ar wneuthur cyfiawnder â'r Iuddewon, o blegid y cam a wnaethai iddynt,) a aeth ynghylch dwyn eu matterion hwy i ben yn heddychol.

13 Am hynny efe a gyhuddwyd ger bron Eupator gan ei geraint, ac efe a alwyd yn fynych yn fradychwr, o blegid gadael o hono Cyprus, yr hon a roddasai Philometor yn ei gadwraeth ef, a myned o

hono at Antiochus Epiphanes: am hynny
pan welodd nad ydoedd mewn bri ardder-
chog, efe a ddigalonnodd, ac a'i gwenwy-
nodd ei hun, ac a fu farw.
14 Ond pan wnaethwyd Gorgias yn ben-
llywydd ar y lleoedd hyn, efe a gyflogodd
estroniaid, ac a ryfelodd yn wastad yn ei-
byn yr Iuddewon.
15 Yr Idumeaid hefyd a flinent yr Iu-
ddewon, gan ynnill y lleoedd cedyrn; a
thrwy dderbyn y rhai a yrid ar herw
o Jerusalem, hwy a ymroddasant i gadw
rhyfel.
16 Am hynny y rhai oedd gyd â Mac-
cabëus, trwy weddio a deisyfiasant ar
Dduw fod yn gynhorthwr iddynt: ac yna
hwy a ruthrasant ar gedyrn leoedd yr Idu-
meaid.
17 I'r rhai pan redasant yn rymmus,
hwy a ynnillasant yr ymddiffynfeydd, ac
wedi iddynt ddâl ar yr holl rai oedd ar y
gaer, hwy a laddasant y rhai a gyfarfydd-
ent, ac a ddieneidiasant nid llai nag ugain
mil.
18 Canys pan gyd-ffoisai naw mil o'r lleiaf
i ddau gastell cadarn dros ben, gan fod gan-
ddynt bob peth angenrheidiol i ddioddef y
gwarchae,
19 Maccabëus a adawodd Simon, a Jo-
seph, â Zacchëus hefyd, a'r rhai oedd gyd
â hwynt, i amgylchu *y tyrau*, ac efe a aeth
ei hun lle yr oedd mwy o eisiau.
20 Ond y rhai oedd gyd â Simon, am eu
bod yn chwannog i arian, a lygrwyd ag
arian gan y rhai oedd yn y tyrau: ac wedi
cymmeryd deng mil a thrugain o ddrach-
mau, hwy a adawsant i rai ffoi.
21 Pan fynegwyd i Maccabëus yr hyn a
wnaethid, efe a gynhullodd ynghŷd ben-
defigion y bobl, ac a achwynodd arnynt hwy
ddarfod iddynt werthu eu brodyr am arian,
gan ollwng eu gelynion yn rhŷdd i ymladd
yn eu herbyn hwynt.
22 Am hynny efe a'u lladdodd hwynt
wedi eu tiftio o draeturiaeth, ac yn ddi-
symmwth efe a ynnillodd y ddau dŵr
hynny.
23 A chan gael llwyddiant â'i arfau yn yr
holl bethau a gymmerodd efe mewn llaw, efe
a laddodd fwy nag ugain mil yn y ddau
ymddiffynfa hynny.
[d] 1 Mac. 5. 6, 7 24 Timotheus hefyd, [d] yr hwn a ddarfua-
sai i'r Iuddewon ei orchfygu o'r blaen, wedi
casglu llawer o luoedd dieithr, a llawer o
wŷr meirch o Asia, a ddaeth megis ar fedr
ynnill Judea wrth arfau.
25 Ond † y rhai oedd gyd â Maccabëus,
pan ydoedd efe yn nesâu, a droisant i wed-
dïo ar Dduw, ac a dannasant bridd ar eu
pennau, ac a wregysasant eu llwynau â
sachlïain,

† *Maccabëus a'r rhai oedd gyd ag ef.*

26 Ac a syrthiasant i lawr wrth droed yr
allor, ac a attolygasant iddo drugarhâu wrth-
ynt, a bod [e] yn elyn i'w gelynion, a gwrth-
wynebu eu gwrthwynebwŷr, megis ag y my-
nega'r gyfraith.

[e] Exod. 23. 22. Deut. 28.

27 Ac wedi diweddu y weddi, hwy a
gymmerasant eu harfau, ac a aethant ym
mhellach oddi wrth y ddinas: a phan ddae-
thant yn agos at eu gelynion, hwy a ar-
hosasant ar eu pennau eu hun.
28 Yr awrhon pan ymddangosodd cyfod-
iad haul, hwy a aethant ill dau ynghŷd;
y naill ran a chanddynt ynghŷd â'u rhin-
wedd, yr Arglwydd yn noddfa, ac yn
wystl llwyddiant, a buddugoliaeth; a'r tu
arall yn gwneuthur eu llid yn llywydd eu
rhyfel.
29 A phan oedd y gad yn dost, [f] fe a
ymddangosodd i'r gelynion o'r nef, bùm
gwr hardd ar feirch â ffrwynau
aur, a dau o honynt a flaenorasant yr Iud-
deawn:

[f] Edrych Pen. 2. 21.

30 Ac a gymmerasant Maccabëus rhyng-
ddynt, ac a'i gorchuddiasant o bob tu â'u
harfau, ac a'i cadwasant yn ddiniweid: ei-
thr saethasant bicellau a mellt yn erbyn y
gelynion: am hynny wedi eu myned yn
benhaeth gan ddallineb, ac yn llawn trallod,
hwy a gwympwyd.
31 Ac fe laddwyd *o wŷr traed* ugain mil
a phum cant, ac o wŷr meirch chwe
chant.
32 Ond am Timotheus, efe a ffodd i ym-
ddiffynfa gadarn, a elwid Gazara, lle yr
ydoedd Cherëas yn llywydd.
33 Ond y rhai oedd gyd â Maccabëus a
amgylchynasant yr ymddiffynfa yn galon-
nog ‡ bedwar diwrnod.
34 A'r rhai oedd oddi mewn yn ym-
ddiried ynghadernid y lle, a gablasant
yn ddirfawr, ac a ddywedasant eiriau
ffiaidd.

‡ *bedwar diwrnod ar hugain.*

35 Ond pan oleuodd hi y § pummed
dydd, ugain o wŷr ieuaingc o'r rhai oedd
gyd â Maccabëus, yn llosgi yn eu meddyl-
iau o blegid y cabliad, a goddasant ar y
gaer yn wrol, ac â meddwl gwylltaidd
a laddasant bob un a gyfarfyddai â
hwynt.

§ *pummed dydd ar hugain, gwŷr ieuaingc o'r rhai.*

36 Eraill yr un modd yn dringo ar eu hol
hwynt, tra'r oeddynt hwy yn brysur â'r
rhai oedd oddi mewn, a losgasant y tyrau,
ac wedi cynneu tân a losgasant y cablwŷr
yn fyw; ac eraill a dorrasant y pyrth, ac
wedi iddynt dderbyn i mewn y darn arall
o'r llu, a ynnillasant y ddinas.
37 Ac a laddasant Timotheus, yr hwn
oedd wedi ymguddio mewn rhyw geuffos,
a'i frawd Chereas, ac Apolophanes.
38 Wedi darfod iddynt wneuthur y peth-
au hyn, hwy a foliannasant yr Arglwydd â
hymnau, ac â rhoddi diolch, yr hwn a wnae-
thai bethau cymmaint i Israel, ac a roddasai
iddynt yr oruchafiaeth.

## PEN. XI.

*3 Lysias wrth geisio ynnill Jerusalem, 8 yn cael ei yrru i ffoi. 16 Llythyrau Lysias at yr Iuddewon: 22 a'r eiddo'r brenhin at Lysias, 27 ac at yr Iuddewon: 34 A'r eiddo y Rhufeinwŷr at yr Iuddewon.*

AR fyrder o amser yn ol hyn, Lysias
† goruchwyliwr y brenhin a'i gâr, yr
hwn hefyd ydoedd lywydd ar ei fatterion ef,
a gymmerth ddigofaint mawr am y pethau a
wnaethid.

† *ymgeleddwr.*

2 Ac wedi iddo gasglu ynghŷd ynghylch
pedwar ugain mil, a'r holl wŷr meirch, efe
a ddaeth yn erbyn yr Iuddewon, a'i fryd ar
wneuthur y ddinas yn breswylfa i'r ‡ Groeg-
wŷr:

‡ *Cenhedloedd.*

3 A gwneuthur elw o'r deml, fel o gap-
pelau eraill y Cenhedloedd, ac ar osod ar
werth yr Arch-offeiriadaeth bob blwy-
ddyn;
4 Heb feddwl dim am allu Duw, ond yn
ynfyd yn ei feddwl o herwydd ei fyrddiwn
o wŷr traed, a'i filoedd o wŷr meirch, a'i
bedwar ugain elephant.
5 Felly efe a ddaeth i Judea, ac a nesâodd
at Bethsura, yr hon ydoedd drêf gadarn

o fewn pûm ystâd at Jerusalem, ac a'i blinodd hi.

6 Ond pan glybu † y rhai oedd gyd â Maccabëus warchae o hono ef ar yr ymddiffynfeydd, hwy a'r holl bobl trwy lefain a dagrau a weddïasant ar Dduw, ar iddo ef ddanfon Angel da i waredu Israel.

† *Maccabëus a'i fintai.*

7 Yna Maccabëus, gan gymmeryd arfau yn gyntaf ei hunan, a gysurodd eraill i gyd-ddwyn y perygl ag ef i helpu eu brodyr. Felly hwy a ruthrasant gyd â hwynt yn ewyllysgar.

8 Ac fel yr oeddynt ger llaw Jerusalem, a fe ymddangosodd iddynt o'u blaen wr ar farch, mewn gwisg wen, yn ysgwyd ei arfau euraid.

a Pen. 2. 21. a 10. 29.

9 Yna pawb o honynt a gyd-ogoneddodd y trugarog Dduw, ac a gymmerasant galonnau grymmus, fel yr oeddynt barod i ymladd, nid yn unig â gwŷr, ond hefyd â'r anifeiliaid gwŷlltaf, ac i drywanu y muriau heiyrn.

10 Felly hwy a aethant rhagddynt mewn byddin, a helpwr o'r nefoedd ganddynt: o blegid yr Arglwydd a gymmerasai drugaredd arnynt.

11 A thân ruthro ar eu gelynion megis llewod, hwy a laddasant un fil ar ddeg o wŷr traed, a mil a chwe chant o wŷr meirch, ac a yrrasant y lleill oll i ffo.

12 Llawer o honynt wedi eu clwyfo, a ddïangasant yn noethion: a Lysias ei hun a ffoes trwy gywilydd, ac felly a ddïangodd.

13 Ac fel nad oedd efe yn wr anghall, gan feddylied ynddo ei hun pa golled a gawsai, a chan gyd-synied fod yr Hebreaid heb allel eu gorfod, am fod yr holl-alluog Dduw yn eu helpu hwy, efe a ddanfonodd attynt;

14 Ac a'u perswadiodd hwy i ‡ gyttuno i bob peth rhesymmol, ac *a addawodd* am hynny y deuai ef ac y gyrrai y brenhin i fod yn ffafrus iddynt.

‡ *y cyttunai ef.*

15 Yna Maccabëus a gyttunodd i bob peth a ddeisyfiodd Lysias, gan ofalu am y budd cyffredinol. A pha beth bynnag a 'sgrifenodd Maccabëus at Lysias dros yr Iuddewon; hynny a ganiattâodd y brenhin.

16 O blegid yr oedd llythyrau wedi eu hysgrifenu at yr Iuddewon oddi wrth Lysias fel hyn; Lysias yn anfon annerch at bobl yr Iuddewon.

17 Ioan ac Absalom, y rhai a yrrwyd oddi wrthych, a roddasant attafi yr atteb 'sgrifenedig, ac a ddymunasant arnafi gyflawni y pethau yr oedd hwnnw yn eu harwyddocâu.

18 Am hynny pa bethau bynnag ydoedd raid eu hadrodd i'r brenhin, mi a'u mynegais hwy, a pha beth bynnag a fai gyffelybol ei wneuthur, efe a'i caniattâodd.

19 Am hynny os cedwch chwi yr ewyllys da hwn, yn y matterion hyn, ie yn ol hyn hefyd mi a wnaf egni ar fod yn achos o ddaioni *i chwi.*

20 Ond am y pethau hyn oll ar eu pennau, mi a rois orchymyn i'r rhain, ac i'm cenhadau innau, i gyd-ymddiddan â chwi.

21 Byddwch iach. Y ganfed a'r wythfed flwyddyn a deugain, y pedwerydd dydd ar hugain o'r mis § Dios-corinthius.

§ *Dioscores.*

22 Ond llythyr y brenhin ydoedd fel hyn; Antiochus frenhin yn danfon annerch at ei frawd Lysias.

23 Wedi i'n tad ni ymadael oddi yma at y duwiau, ein hewyllys ni yw bod preswylwŷr ein teyrnas yn ddigyffro, fel y gallo pawb ofalu am yr eiddo ei hun.

24 Yn gymmaint ag i ni glywed i'r Iuddewon, (y rhai ni chyttunent â'r cyfnewidiad a wnaethai fy nhad yn ol arfer y ‖ Groegwŷr, ond oedd well ganddynt eu harfer eu hun,) fod yn dymuno caniadhâu iddynt fyw yn ol eu cyfreithiau eu hun.

‖ *Cenhedloedd.*

25 O achos hynny ein hewyllys ni yw, cael o'r genedl yma fod yn ddiderfysg: ac ni a roisom ein bryd ar edfryd iddynt eu Teml, fel y gallont fyw yn ol arferau eu hynafiaid.

26 O achos hynny da y gwnai os danfoni attynt, † a rhoi dy ddeheulaw iddynt, megis pan wypont ein meddwl ni, y byddont gysurus, ac y gallont drin yn hyfryd eu matterion eu hun.

† *a chaniattâu heddwch.*

27 Ac fel hyn yr oedd llythyr y brenhin at genedl yr Iuddewon; Antiochus frenhin, at y Cyngor, ac at yr Iuddewon eraill, sydd yn danfon annerch.

28 Os iach ydych, ein dymuniant yw, iach ydym ninnau hefyd.

29 Meneläus a ddangosodd i ni, fod eich deisyfiad chwi i droi adref, ac i drin eich matterion eich hun.

30 Am hynny y sawl a ymadawant, a gânt addewid ffyddlon, trwy ddïofalwch hyd y degfed dydd ar hugain o fis ‡ Csanthicus:

‡ *Neu, Ebrill.*

31 Fel y gallo'r Iuddewon fwynhâu eu bwydydd eu hunain, a'u cyfreithiau, megis o'r blaen, ac na chaffo neb o honynt flinder am bethau a wnelid yn amryfus.

32 Ac mi a yrrais hefyd Meneläus i'ch cysuro chwi.

33 Byddwch iach. Y ganfed a'r wythfed flwyddyn a deugain, a'r pymthegfed dydd o fis Csanthicus.

34 Danfon hefyd a wnaeth y Rhufeinwŷr lythyr attynt, yn cynnwys y geiriau hyn; Cwintus Memmius, Titus Manlius, § cenhadau y Rhufeinwŷr at bobl yr Iuddewon, sydd yn danfon annerch.

§ *Consuliaid.*

35 Y pethau a ganiattâodd Lysias carwr y brenhin i chwi, yr ydym ninnau hefyd yn eu caniattâu.

36 Eithr am y pethau y mae efe yn barnu eu bod i'w rhoi ar y brenhin, gyrrwch yn fuan ryw un ‖ i ystyried y pethau hyn, fel y gallom ni fynegi y modd a fyddo addas i chwi: canys yr ydym ni yn myned i Antiochia.

‖ *wedi i chwi ystyried.*

37 Am hynny brysiwch a gyrrwch ryw rai, fel y gallom wybod eich meddwl.

38 Byddwch iach. Y ganfed a'r wythfed flwyddyn a deugain, a'r pymthegfed dydd o fis Csanthicus.

## PEN. XII.

1 *Rhaglawiaid y brenhin yn blino'r Iuddewon.* 3 *Gwŷr Joppe yn boddi dau gant o Iuddewon.* 6 *Dial Judas arnynt hwy;* 11 *ac yntau yn heddychu â'r Arabiaid,* 16 *ac yn ynnill Caspis.* 22 *Gorchfygu lluoedd Timotheus.*

WEDI gwneuthur yr ammodau hyn, Lysias a aeth at y brenhin, a'r Iuddewon oeddynt ynghylch eu hwsmonaeth.

2 Ond o'r llywodraethwŷr ar amryw leoedd, a Timotheus, ac Apolonius *mab*

a Edrych Pen. 10. 37.

Genneus, hefyd Hieronymus, a Demophon, ac heb law 'r rhai 'n, Nicanor pennaeth Cyprus, ni ddioddefent iddynt orphwys a byw yn llonydd.

3 Gwŷr Joppe hefyd a ddibennasant y weithred annuwiol; Hwy a ddymunasant ar yr Iuddewon oedd yn trigo gyd â hwynt, ar iddynt hwy, a'u gwragedd, a'u plant fyned i ysgraff a barottoisent hwy, megis pe buasai heb fod creulondeb calon yn eu herbyn hwynt.

4 Felly yn ol cyfundeb y ddinas, hwy a fuant foddlon i 'r peth, fel gwŷr yn dymuno heddwch, ac heb ddrwg-dybied dim; ond wedi iddynt fyned i 'r dyfnder, hwy a foddasant o honynt nid llai nâ dau cant o wŷr.

5 Pan glybu Judas wneuthur creulondeb yn erbyn gwŷr ei wlad, efe a orchymynodd i 'r gwŷr oedd gyd ag ef eu gwneuthur eu hunain yn barod.

6 Ac wedi galw ar Dduw y Barnwr cyfiawn, efe a ddaeth yn erbyn llofruddwŷr ei frodyr, ac a losgodd y borthladd o hŷd nos, ac a losgodd yr ysgraffau, ac a laddodd y rhai a ffoisent yno.

7 A phan oedd y dref wedi ei chau o amgylch, efe a aeth yn ei ol megis ar fedr dyfod eilwaith a diwreiddio allan yr holl rai o ddinas Joppe.

8 Ond pan ddeallodd efe fod y Jamniaid ar fedr dwyn i ben yr unrhyw beth yn erbyn yr Iuddewon oedd yn trigo gyd â hwynt;

9 Efe a ddaeth am ben y Jamniaid hefyd o hŷd nos, ac a losgodd y porthladd a'r llongau, yn gymmaint ag y gwelwyd llewyrch y tân hyd yn Jerusalem, ddau gant a deugain ystâd oddi yno.

10 A phan aethant oddi yno naw ystâd, yn eu taith yn erbyn Timotheus, fe a ruthrodd o'r Arabiaid arno ef, nid llai nâ phùm mil *o wŷr traed*, a phùm cant o wŷr meirch.

11 A hwy a ymladdasant yn dost: eithr rhyfelwŷr Judas trwy gymmorth Duw a gawsant y fuddugoliaeth; felly y Nomadeaid o Arabia wedi eu gorchfygu a ddeisyfiasant † ar Judas roi ei ddeheulaw iddynt, dan addo rhoi iddo anifeiliaid, a bod yn fuddiol iddo ef mewn pethau eraill.

† *heddwch gan Judas.*

12 A Judas yn tybied y byddent fuddiol iddo mewn llawer o bethau a ganiadhâodd iddynt heddwch: a phan ysgydwasant ddwylaw, hwy a ‡ ymadawsant i'w pebyll.

‡ *aethant o le i le a'u teuluoedd ac a'u hanifeiliaid.*

13 Efe a ddaeth hefyd am ben rhyw ddinas wedi ei chadarnhâu â phont, a'i chwmpasu â chaerau, yr hon a gyfanneddid gan lawer o genhedloedd cymmysgedig, yr hon a elwid Caspis.

14 Ond y rhai o'i mewn yn hyderu ynghadernid eu caerau, ac yn eu 'stôr o fwydydd, a fuant § anniesgeulus; ac a ymserthasant â'r rhai oedd gyd â Judas, ac a'u cablasant hwy, ac a ddywedasant eiriau anghyfreithlawn eu dywedyd.

§ *anwybodol iawn.*

15 Am hynny Judas a'r rhai oedd gyd ag ef, gan alw ar Bennadur mawr y byd, ([b] yr hwn heb na hyrddod, nac offer rhyfel, a fwriodd i lawr Jericho yn amser Joshua,) a ruthrasant yn awchus yn erbyn y caerau,

[b] Joshua 6. 20.

16 Ac a orchfygasant y ddinas trwy ewyllys Duw, ac a wnaethant laddfa anguriol; yn gymmaint a bod llynn ger llaw, yr hwn oedd ddau 'stâd o led, wedi colli gwaed ynddo, hyd onid oedd yn llawn.

17 Hwy a aethant oddi yno saith gant a deg a deugain o 'stadiau, ac a ddaethant i Characa, at yr Iuddewon a elwir Tubieni.

18 Ond yn wir ni chawsent afael ar Timotheus yn y lleoedd hynny: o blegid efe a aethai ymaith oddi yno heb ddwyn dim i ben; ond efe a adawsai lu mewn rhyw ymddiffynfa, yn gryf iawn dros ben.

19 Etto Dositheus a Sosipater, y rhai oedd o gapteniaid Maccabëus, a aethant rhagddynt, ac a laddasant o'r rhai a adawsai Timotheus yn yr ymddiffynfa, fwy nâ deng mil o wŷr.

20 Maccabëus a osododd ei lu yn finteioedd, ac a'u gosododd ‖ hwynt ar y minteioedd, ac a aeth yn erbyn Timotheus, yr hwn yr oedd yn ei gylch gant ac ugain mil o wŷr traed, a dwy fil a phum cant o wŷr meirch.

‖ *Dositheus a Sosipater.*

21 Ond Timotheus pan gafodd wybodaeth o ddyfodiad Judas, a ddanfonodd y gwragedd, a'r plant, a'r glud arall i 'r ymddiffynfa a elwir [c] Carnion; o blegid y lle hwnnw oedd anhawdd ei gwmpasu, a dyfod i mewn iddo, o achos y cyfyng-leoedd o bob tu.

[c] 1 Mac. 5. 43.

22 Eithr pan ymddangosodd blaen câd Judas, y gelynion, wedi eu taro ag ofn a dychryn (trwy ymddangosiad yr un sydd yn gweled pob peth) a ffoisant am yr einioes, gan redeg y naill yma, a'r llall acw, fel y cawsant yn fynych eu clwyfo gan eu pobl eu hunain, a'u gwanu â blaen eu cleddyfau eu hunain.

23 Am hynny yr erlidiodd Judas yn dostach, ac y gwanodd efe y rhai halogedig hynny, hyd oni laddodd efe o honynt ynghylch deng mil ar hugain o wŷr.

24 Hefyd Timotheus ei hunan a syrthiodd yn nwylaw Dositheus a Sosipater, a thrwy fawr ddichell a ddeisyfiodd arnynt ei ollwng ef yn rhydd yn fyw, am fod dan ei law ef dadau llawer o'r Iuddewon, a brodyr rhai o honynt, ac y digwyddai na byddai gyfrif am y rhai hynny os lleddid ef.

25 Felly pan roisai efe iddynt sicrwydd trwy laweroedd o eiriau, ar iddo ef eu rhyddhâu hwynt heb niweid, yn ol y cyttundeb, hwy a'i gollyngasant ef yn rhydd er mwyn iachawdwriaeth eu brodyr.

26 Yna yr aeth Maccabëus yn erbyn Carnion, a theml * Atargatis, ac a laddodd yno bùm mil ar hugain o wŷr.

* *Sef, Venus.*

27 Ac wedi iddo eu gyrru i ffoi a'u dinystrio hwynt, efe a symmudodd ei lu yn erbyn Ephron, tref gadarn, yn yr hon yr oedd Lysias yn aros, a lliaws mawr o amryw genhedloedd; a'r gwŷr ieuaingc grymmus a gadwasant y caerau, ac a'u hamddiffynnasant yn hybyr: lle yr oedd hefyd fawr barodrwydd o offer rhyfel a phicellau.

28 Ond wedi ‡ iddynt alw ar yr Hollalluog Dduw (yr hwn sydd â'i nerth yn gwanhâu grym ei elynion) hwy a ynnillasant y ddinas, ac a laddasant o'r rhai oedd ynddi bùm mil ar hugain.

‡ *i Judas a'i lu.*

29 Ac oddi yno yr aethant i Scythopolis, yr hon sydd oddi wrth Jerusalem chwe chant ystâd.

30 Ond wedi i'r Iuddewon oedd yno yn

preswylio dystiolaethu mor dda oedd ewyllys y Scythopoliaid tu ag attynt, ac mor garedig a fuasent hwy iddynt yn amseroedd eu blinfyd;

31 Hwy a roisant ddïolch iddynt, gan ddeisyf arnynt fod yn gymmwynasgar i'w cenedl rhag llaw. Ac felly am fod yn gyfagos wyl yr wythnosau, hwy a ddaethant i Jerusalem.

32 Ac wedi 'r wyl a elwir Pentecost, hwy a aethant yn erbyn Gorgias † capten Idumea,

*† llywodraethwr.*

33 Yr hwn a ddaeth allan â thair mil o wŷr traed, ac â phedwar cant o wŷr meirch.

34 Ac fe ddigwyddodd, wrth ymladd o honynt ynghŷd, ladd ymbell un o'r Iuddewon.

35 Ar yr hwn amser Dositheus, un o lu Bacenor, yr hwn oedd ar farch, ac yn wr grymmus, a ddàliodd Gorgias, ac a'i llusgodd ef yn rymmus erbyn ei gochl; ond ac efe a'i ewyllys ar ddâl y gwr melldigedig hwnnw yn fyw, fe ddaeth arno ef ryw wr march o Thracia, ac a dorrod ymaith ei ‡ ysgwydd ef, fel y dïangodd Gorgias i Marisa.

*‡ a furiodd ei lu ef heibio, a'i cluyfodd ef yn ei ysgwydd, neu, a'i tarawodd yn ei ysgwydd.*

36 A phan oedd y rhai oedd § o amgylch yn ddiffygiol i ymladd ychwaneg, Judas a alwodd ar yr Arglwydd ar iddo ef ei ddangos ei hunan yn helpwr iddynt, ac yn flaenor i'r gâd.

*§ gyd â Gorgias.*

37 Ac ar hynny efe a ddechreuodd yn ei iaith ei hun, ac a ganodd Psalmau â llef uchel, a chan ruthro yn ddisymmwth am ben rhyfelwŷr Gorgias, efe a'u gyrrodd hwy i ffoi.

38 Felly Judas, dan gasglu ei lu, a ddaeth i ddinas Odolam. A phan ddaeth y seithfed dydd, fel yr oedd yr arfer, hwy a'u glanhasant eu hunain, ac a gadwasant y dydd Sabboth yn y lle hwnnw.

39 A'r ail dydd, fel yr oedd anghenrhaid, Judas a'i lu a ddaethant i ddwyn ymaith gorph y rhai a laddasid, ac i'w claddu hwynt gyd â'u cyfneseifiaid, ym meddau eu tadau.

40 Yr awrhon dan beisiau pob un o'r rhai a laddasid, hwy a gawsant bethau wedi eu cyssegru i eilunod y Jamniaid yr hyn sydd waharddedig i'r Iuddewon yn ol [d] y gyfraith. Yna fe welodd pawb mai hyn oedd yr achos paham y lladdesid hwy.

*d Deut. 7. 25, 26.*

41 Yna pawb a roes ddïolch i'r Arglwydd y Barnwr cyfiawn, yr hwn a wnaethai y pethau cuddiedig yn amlwg.

42 Ac a droisant at eu gweddi, ac a ddeisyfiasant arno ef, ddilëu yn gwbl y pechod a wnaethent. A Judas ardderchawg a gynghorodd i'r gynnulleidfa ymgadw yn lân oddi wrth bechod, gan iddynt weled â'u llygaid y pethau a ddaethai i ben am bechod y rhai a laddasid.

43 Ac wedi iddo ddarpar treth o ddwy fil o ddragmau o arian, efe a ddanfonodd i Jerusalem i offrymmu aberth dros bechod; gan wneuthur yn dda ac yn onest, o achos ei fod yn meddwl am yr adgyfodiad:

44 (O blegid oni buasai iddo ef obeithio adgyfodiad y rhai a laddesid, afraid ac ofer fuasai weddïo dros y meirw:)

45 A hefyd am iddo ddeall fod ffafr ynghadw i'r rhai a fuasai feirw yn dduwiol: (sanctaidd a duwiol oedd y meddwl:) trwy hyn efe a wnaeth gymmod dros y meirw, fel y rhyddheid hwy oddi wrth bechod.

## PEN. XIII.

*1 Eupator yn gosod ar Judea. 15 Judas liw nos yn lladd llawer. 18 Difuddio amcan Eupator; 23 ac yntau yn heddychu â Judas.*

YN y ganfed a'r nawfed flwyddyn a 163
deugain y daeth y gair at Judas, fod
Antiochus Eupator yn dyfod â gallu mawr
i Judea;

2 A chyd ag ef [a] Lysias ei oruchwyliwr, a llywydd yn ei fatterion, a chan bob un o honynt yn ei lu o'r Groegwŷr gant a deng-mil o wŷr traed, a † phûm mil o wŷr meirch, a dau Elephant ar hugain, a thri chant o gerbydau bachog.

*a Pen. 11. 1.*

*† Neu, phûm mil a thri chant.*

3 Ac fe a ymgyssylltodd attynt Menelaus hefyd, a thrwy fawr watwar a gynghorodd Antiochus, nid er dïogelwch i'r wlad, ond o herwydd iddo feddwl cael bod ei hun yn bennadur.

4 Ond brenhin y brenhinoedd a gynhyrfodd feddwl Antiochus yn erbyn y *gwr* ysgeler hwn. A phan ddangosodd Lysias i'r brenhin mai hwn oedd achos yr holl ddrygioni, efe a orchymynodd, fel yr oedd yr arfer yn y lle hwnnw, ei ddwyn ef i Berea, a'i ddifetha ef.

5 Y mae hefyd yn y lle hwnnw dŵr o ddeg cufydd a deugain o uchder, yn llawn o ludw, yn yr hwn yr oedd rhyw offeryn crwn, o bob tu yn llithro i lawr ar y lludw.

6 Yno y gyrrai pawb i farwolaeth y neb a fernid yn euog o gyssegr-ladrad, a'r neb a wnaethai weithredoedd drwg eraill.

7 O'r farwolaeth yma y digwyddodd i'r gwr annuwiol hwnnw farw, heb gael gymmaint a daear i'w gorph, a hynny yn wir gyfiawn.

8 Canys yn gymmaint ag iddo ef wneuthur llawer o bechodau ynghylch yr allor oedd a'i thân a'i lludw yn sanctaidd, efe a ddioddefodd farwolaeth mewn lludw.

9 Yr awrhon y brenhin a ddaeth â meddwl gwyllt a balch, i wneuthur rhyw ddïaledd ar yr Iuddewon, yr hwn ni's gwnaethid erioed yn amser ei dad.

10 Ond pan wybu Judas hynny, efe a orchymynodd i'r lliaws alw ar yr Arglwydd ddydd a nos, os helpiasai ef hwynt amser arall erioed, ar iddo yn awr helpio y rhai oedd debyg i golli eu cyfraith, eu gwlad, a'u Teml sanctaidd:

11 Ac na adawai efe y bobl a gawsent yr awrhon ychydig lonyddwch, i'w darostwng i'r Cenhedloedd cablgar.

12 Ac wedi i bawb o honynt gydwneuthur yr un peth, ac ymbil â'r Arglwydd trugarog, trwy wylofain, ac ympryd, dan orwedd ar y llawr dri diwrnod yn ddibaid, Judas a'u cynghorodd hwy, ac a orchymynodd iddynt fod yn barod.

13 Ac fel yr oedd efe gyd â'r Henuriaid o'r neilldu, efe a fwriadodd, cyn i lu y brenhin ruthro i Judea, a chael meddiannu y ddinas, fyned o honynt hwy allan, a phrofi y matterion *mewn ymdrech* trwy help yr Arglwydd.

14 Felly gan orchymyn y *cwbl* i ‡ Greawdwr y byd, efe a gynghorodd i'r neb oedd gyd ag ef ymladd yn rymmus, hyd farwolaeth, ynghweryl eu cyfreithiau, eu Teml, eu gwlad, a'u cy-

*‡ Arglwydd.*

foeth cyffredin, ac a wersyllodd wrth Modin

15 Yna wedi rhoddi o hono ef i'w ryfelwŷr yn arwydd, Goruchafiaeth sydd o Dduw; gyd â'r gwŷr ieuainc gwrolaf a dewisol, efe a aeth liw nos i babell y brenhin, ac a laddodd yn y gwersyll ynghylch † dwy fil o wŷr, a'r pennaf o'r Elephantiaid, a'r hyn oll oedd arno ef.

† pedair mil.

16 Ac o'r diwedd hwy a lanwasant yr holl wersyll ag ofn, a thrallod, ac a ymadawsant yn llwyddiannus.

17 Hyn a wnaethpwyd ar y bore-ddydd, am fod ymddiffyn yr Arglwydd yn ei gynnorthwyo ef.

18 Yr awrhon pan gafodd y brenhin brawf o hyfder yr Iuddewon, efe a aeth ynghylch ynnill yr ymddiffynfeydd trwy gyfrwysdra,

19 Ac a aeth i Bethsura, ymddiffynfa gadarn yr Iuddewon; ond efe a yrrwyd i ffoi, a dramgwyddodd, ac a wanhâwyd.

20 Canys Judas a ddanfonasai i'r rhai oedd ynddi, y cyfryw bethau ag oedd angenrheidiol.

21 Ond Rhodocus, o lu yr Iuddewon, a ddatguddiodd y cyfrinachau i'r gelynion. Am hynny hwy a chwiliasant am dano; a phan y cawsant ef, hwy a'i rhoisant yngharchar.

22 Y brenhin a ymddiddanodd yr ail waith â hwynt yn Bethsura, a roes ei law ei hun, a gymmerth eu rhai hwythau, a aeth ymaith, a ymladdodd â Judas, a orchfygwyd;

23 A phan wybu wrthryfela o Phylip, yr hwn a adawsid ar y matterion yn Antiochia, efe a gywilyddiodd, a ymbiliodd â'r Iuddewon, a ymostyngodd, ac a dyngodd *iddynt* ym mhob peth cyfiawn, a dangnefeddodd, a offrymmodd aberth, a anrhydeddodd y Deml, ac a fu gymmwynasgar i'r lle,

24 Ac a gofleidiodd Maccabëus, a'i gwnaeth ef yn llywodraethwr pennaf ar Ptolemais hyd y Gerrheniaid;

25 A ddaeth i Ptolemais. Yr oedd yn anfoddlon gan bobl Ptolemais yr ammodau; canys hwy a ffrommasant o herwydd eu bod hwy yn chwennych torri eu hammodau.

26 Lysias a aeth i fynu i'r orseddfa, a ymddiffynnodd y weithred yn drefnus, a'u hynnillodd, a'u llonyddodd, a'u gwnaeth hwynt yn ewyllysgar, a ddychwelodd i Antiochia. Fel hyn y damweiniodd taith y brenhin a'i ddychweliad.

## PEN. XIV.

6 *Alcimus yn achwyn ar Judas.* 18 *Nicanor yn heddychu â Judas,* 39 *Ac yn ceisio dala Rhasis,* 46 *ac yntau yn ei ladd ei hun, rhag ei ddal yn fyw.*

164. YN ol tair blynedd y daeth y gair at Judas, fod Demetrius mab Seleucus, wedi dyfod i mewn trwy borthladd Tripolis, â chynnulleidfa rymmus, ac â llongau,

2 Oresgyn y wlad, a lladd Antiochus a'i orchwyliwr Lysias.

3 Yr awrhon un Alcimus, yr hwn a fuasai yn Arch-offeiriad, ac o'i wirfodd a ymddifwynasai yn amseroedd eu cymmysgiad *â'r Cenhedloedd,* pan dybiodd nad ydoedd help iddo, na bod yn rhŷdd mwyach fyned i'r allor sanctaidd,

4 A ddaeth at frenhin Demetrius, yn y ganfed a'r unfed flwyddyn ar ddeg a deugain, gan roddi iddo goron o aur, a phalmwydden, a hefyd o'r cangeiau a ‡ arferid ar wyliau yn y Deml. A'r dydd hwnnw efe a dawodd â son.

‡ dybid eu bod i'r Deml.

5 Ond pan gafodd efe amser cyfaddas i'w ynfydrwydd, *a* chael gan Ddemetrius alw am dano ef i'r cyngor, a gofyn iddo ym mha gyflwr a pha gyngor yr oedd yr Iuddewon yn sefyll, efe a attebodd i hynny;

6 Y rhai o'r Iuddewon a elwir Asideaid, ar ba rai y mae Judas Maccabëus yn gapten, sydd yn magu rhyfel, ac ymryson, ac ni adawant i'r deyrnas fod yn heddychol.

7 O herwydd hynny myfi, wedi fy yspeilio am anrhydedd fy hynafiaid, (yr wyf yn meddwl yr Arch-offeiriadaeth) yr awrhon a ddaethum yma;

8 Yn gyntaf, yn wir o blegid bod gennyf feddwl ffyddlon at y pethau a berthyn i'r brenhin; yn ail, o blegid fy mod yn ymroddi i geisio budd i'm dinaswŷr. O blegid y mae anrheswm y rhai y dywedwyd am danynt yn blino nid ychydig ar ein holl genedl ni.

9 Am hynny, O frenhin, gan dy fod di yn gwybod yr holl bethau hyn, cymmer ofal dros y wlad, a'n cenedl ni, yr hon sydd mewn ing, a'r fath fwynder ag yr wyt ti yn ei ddangos i bawb.

10 O blegid tra fyddo Judas yn fyw, nid yw bossibl i'r matterion gael heddwch.

11 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, yn y fan cyfeillion eraill, y rhai oedd mewn gelyniaeth â Judas a ennynnasant Ddemetrius yn fwy.

12 Ac yn ebrwydd gan alw Nicanor, yr hwn a fuasai yn llywydd ar yr Elephantiaid, a'i wneuthur ef yn llywodraethwr ar Judea, efe a'i gyrrodd allan,

13 Gan roi iddo ‡ lythyrau i ladd Judas, ac i yrru y rhai oedd gyd ag ef ar wasgar, ac i wneuthur Alcimus yn Arch-offeiriad i'r Deml fawr.

‡ orchymyn.

14 Yna y Cenhedloedd, y rhai a ffoisent o Judea oddi wrth Judas, a ymgasglasant yn dyrfaoedd at Nicanor, gan dybied fod blinder a chwymp yr Iuddewon yn llwyddiant iddynt hwy.

15 Ond pan glybu'r Iuddewon ddyfod Nicanor, ac ymgasglu o'r Cenhedloedd yn eu herbyn, hwy a daflasant ddaear ar eu pennau, ac a weddiasant ar yr hwn a sicrhasai ei bobl dros byth, ac sy'n ymddiffyn ei ran ei hun bob amser, trwy amlygu ei bresennoldeb.

16 Felly wrth orchymyn y capten, yn y fan hwy a symmudasant oddi yno, ac a gyfarfuant â hwynt wrth dref § Dessaro.

§ Dessau.

17 Yr awrhon Simon brawd Judas a gyfarfuasai â Nicanor mewn rhyfel; ond fe a synnodd arno ef beth wrth ddisymmwth ddistawrwydd y gelynion.

18 Er hynny pan glybu Nicanor ddewrder y rhai oedd gyd â Judas, a'u gwroldeb i ymdrech ynghweryl eu gwlad, efe a ofnodd ddibennu y matter trwy ryfel.

19 Am hynny efe a ddanfonodd Posidonius, a Theodotus, a || Matthias i wneuthur tangnefedd.

|| Mattathias.

20 Ac wedi cymmeryd o honynt hir gyngor am y pethau hyn, ac i'r capten

wneuthur y lliaws yn gydnabyddus â hwynt, ac ymddangos eu bod hwy o'r un meddwl, hwy a gyttunasant i'r ammodau.

21 Ac a luniasant ddiwrnod. A phan ddaeth y dydd i ddyfod ynghŷd yn gyfrinachol, ac ystolion wedi eu gosod i bob un o honynt,

22 Judas a osododd wŷr arfog yn barod mewn lleoedd cyflëus, rhag i'r gelynion wneuthur rhyw fradwriaeth yn ddisymmwth. Felly hwy a wnaethant gyd-ymresymmiad heddychol.

23 Yna y trigodd Nicanor yn Jerusalem, ac heb wneuthur niweid, efe a ollyngodd ymaith y bobl a ymgasglasai atto ef yn gadfeydd.

24 Ac efe a fynnai Judas bob amser yn ei olwg: canys yr oedd efe yn caru y gwr yn ei galon.

25 Ac efe a ddeisyfiodd arno brïodi, ac ynnill plant. Felly efe a brïododd, a fu lonydd, ac † a gymmerth ran o'r bywyd yma.

† a fu fyw ynghŷd ag ef.

26 Eithr Alcimus pan ganfu efe ewyllys da 'r naill at y llall, ac ystyried yr ammodau a wnaethid, a ddaeth at Ddemetrius, ac a ddywedodd fod Nicanor yn ymyrryd mewn matterion dïeithr; canys Judas, *eb efe*, yr hwn oedd yn cynllwyn am ei frenhiniaeth ef, a ordeiniodd efe i fod ar ei ol.

27 Yna y brenhin mewn llidiowgrwydd, ac wedi ei annog trwy achwynion y gwr llwyr-ddrwg hwnnw, a 'sgrifenodd at Nicanor, gan ddywedyd ei fod efe yn dra anfoddlon i'r ammodau, a chan orchymyn iddo ddanfon Maccabëus ar frys yn garcharor i Antiochia.

28 Pan ddaeth hyn at Nicanor, fe a'i cythryblwyd ef ynddo ei hun yn aruthr, a blin fu ganddo orfod iddo wneuthur yn ofer yr ammodau a fuasai rhyngddynt, a'r gwr heb fod ar fai yn y byd.

29 Ond o ran nad oedd gymmwys wrthwynebu'r brenhin, efe a wyliodd amser cyfaddas i ddwyn hyn i ben trwy gyfrwysdra.

30 Ond pan welodd Maccabëus fod Nicanor yn afrywioccach wrtho, a'r gyfeillach arferol yn ddrengach, efe a ddeallodd na ddaeth yr afrywiogrwydd hwnnw o'r meddwl goreu; am hynny efe a gasglodd lawer o'r rhai oedd yn ei gylch ef, ac a ymneillduodd oddi wrth Nicanor.

31 Y llall hefyd, gan wybod achub ei flaen yn odidog trwy gyfrwysdra Judas, * a ddaeth i'r Deml fawr sanctaidd, ac a orchymynodd i'r offeiriaid oedd yn offrymmu'r ebyrth cyfaddas, roddi y gwr iddo ef.

* 1 Mac. 7. 33, &c.

32 Ond pan dyngasant na wyddent pa le yr oedd y gwr yr oedd efe yn ei geisio,

33 Efe a estynnodd ei ddeheu-law tu a'r Deml, ac a dyngodd fel hyn; Oni roddwch chwi Judas i mi ‡ yn rhwym, mi a wnaf y Deml hon i Dduw yn gyd-wastad â'r llawr, ac a dorraf i lawr yr allor, ac a adeiladaf yma Deml odidog i Bacchus.

‡ fel carcharor.

34 Ac yn ol y geiriau hyn, efe a aeth ymaith. Yna'r offeiriaid a godasant eu dwylaw tu a'r nef, ac a alwasant ar yr hwn a fuasai erioed yn ymddiffynnwr i'w cenedl hwy, gan ddywedyd fel hyn,

35 Ti Arglwydd pob peth, yr hwn nid oes arnat eisiau dim, a welaist yn dda fod Teml dy breswylfa yn ein plith ni.

36 Am hynny yn awr, O Arglwydd sanctaidd pob sancteiddrwydd, cadw byth y tŷ yma yn ddihalog, yr hwn yn ddiweddar a lanhawyd, a chau bob genau anghyfiawn.

37 Yna fe a gyhuddwyd i Nicanor, Rasis, un o henuriaid Jerusalem, gwr yn caru y ddinas, ac o enw da, yr hwn am ei ewyllys da, a elwid yn dad i'r Iuddewon:

38 Canys yn yr amseroedd o'r blaen, pan oeddynt heb eu cymmysgu eu hunain â'r Cenhedloedd, efe a gyhuddasid o grefydd Iuddewig, ac yn hŷ a gynnygiodd dreulio ei gorph a'i einioes yn ddïanwadal er mwyn crefydd yr Iuddewon.

39 Am hynny Nicanor, gan ewyllysio dangos yn eglur ei greulondeb yn erbyn yr Iuddewon, a ddanfonodd ychwaneg i bùm cant o ryfelwŷr i'w ddàl ef.

40 Canys efe a dybiodd wrth ei ddàl ef, y gallai efe ddwyn dinystr *ar yr Iuddewon.*

41 Ond pan oedd y dorf a'u bryd ar ynnill y tŵr, ac wrth gryfder ar dorri i mewn i'r drws nesaf allan, ac yn peri cyrchu tân i'w losgi; efe, pan oeddent o bob tu yn ymyl ei ddàl, a syrthiodd ar ei gleddyf ei hun,

42 Gan fod yn well ganddo farw yn wrol, nâ'i ddarostwng dan y rhai 'sgeler hynny, a goddef traha anweddaidd i'w fonedd ef.

43 Ond pan fethodd ganddo ef gael ei ddyrnod yn uniawn, a'r llïaws hefyd yn rhuthro i mewn i'r drysau, efe a redodd yn hŷ i'r gaer, ac a'i bwriodd ei hun yn wrol bendramwnwgl ym mysg y dorf.

44 Ond pan giliasant hwy yn fuan yn ol, ac ymrannu, efe a syrthiodd i lawr i'r gwagle.

45 Er hynny ac efe etto yn fyw, yn llosgi o lid, efe a gododd i fynu: ac er bod ei waed yn rhedeg fel ffrydau, a'i welïau yn ofidus, etto efe a redodd trwy ganol yr ymwasg, ac a safodd ym mhen craig uchel.

46 Wedi yr awrhon colli ei waed oll efe a dynnodd allan ei berfedd, ac a'u cymmerth hwy yn ei ddwylaw, ac a'u taflodd at y dyrfa: a chan alw ar Arglwydd y bywyd, a'r yspryd, ar iddo eu rhoddi hwynt iddo drachefn, efe a fu farw fel hyn.

## PEN. XV.

5 *Cabledd Nicanor.* 8 *Judas yn rhoi calon yn ei wŷr trwy ddangos ei freuddwyd iddynt.* 28 *Lladd Nicanor.*

OND Nicanor wrth glywed fod Judas a'i lu yn nhueddau Samaria, a ymrôdd heb ddim perygl i ddyfod ar eu huchaf hwy ar y dydd Sabboth.

2 Er hynny yr Iuddewon, y rhai a gymhellwyd i'w ganlyn, a ddywedasant. O na ddistrywia mor greulon, ac mor anhrugarog; eithr dyro anrhydedd i'r dydd, yr hwn y darfu i'r hwn sydd yn gweled pob peth, ei anrhydeddu â sancteiddrwydd, uwch law *dyddiau eraill.*

3 Yna y dŷn ysgeler yma a ofynnodd, a ydoedd un Galluog yn y nef, yr hwn a orchymynasai gadw y dydd Sabboth.

4 A phan attebasant, Y mae yn y nef Arglwydd bywiol galluog, yr hwn a orchymynodd gadw y seithfed dydd.

5 Yna eb y llall, A minnau hefyd wyf alluog ar y ddaear, ac yr wyf yn gorchymyn i chwi gymmeryd arfau, a dwyn i ben fatterion y brenhin. Er hynny ni allai efe ddwyn i ben ei annuwiol amcan.

6 Felly Nicanor, gan ymddyrchafu â mawr falchedd, a rodd ei fryd ar wneuthur cof o'r oruchafiaeth a gaffai efe ar Judas, a'r rhai oedd gyd ag ef.

7 Ond Maccabëus oedd bob amser yn ymddiried trwy fawr obaith y byddai 'r Arglwydd yn ymddiffynnwr iddo.

8 Am hynny efe a gynghorodd ei wŷr nad ofnent ddyfodiad y Cenhedloedd yn eu herbyn, ond gan fod yn eu cof y cynhorthwy a gawsent o'r blaen o'r nef, edrych o honynt yn awr hefyd am yr oruchafiaeth a'r cymmorth a ddeuai iddynt oddi wrth yr Holl-alluog.

9 Ac felly gan eu cysuro hwy allan o'r gyfraith a'r prophwydi, ac am ben hynny gan gofio iddynt y rhyfeloedd a wnaethent o'r blaen yn llwyddiannus, efe a'u gwnaeth hwy yn llawenach.

10 Ac wedi iddo godi calonnau ynddynt, efe a roddes iddynt eu siars, gan ddangos hefyd iddynt ffalsder y Cenhedloedd, a thorriad eu llwon.

11 Felly efe a arfogodd bob un o honynt, nid yn gymmaint â diogelwch tarianau a gwayw-ffyn, ag â chysur trwy eiriau da: a hefyd efe a ddangosodd iddynt freuddwyd credadwy, ac a'u llawenychodd yn fawr.

12 A hyn ydoedd ei weledigaeth ef; Fod Onïas, yr hwn a fuasai yn Arch-offeiriad; gwr rhinweddol a da, parchedig o ymarweddiad, addfwyn o naws, ymadroddus hefyd, ac wedi llafurio er yn fachgen yn mhob pwngc o rinwedd, yn codi ei ddwylaw, ac yn gweddïo dros holl gorph yr Iuddewon.

13 Pan ddarfu hyn, yn yr un ffunud fe a ymddangosodd iddo wr penllwyd, yn rhagori mewn gogoniant, yr hwn oedd o ryfeddol a rhagorol fawredd.

14 Yna 'r attebodd Onïas, gan ddywedyd, Dyma un sydd hoff ganddo y brodyr, yr hwn sydd yn gweddïo llawer dros y bobl a'r ddinas sanctaidd, sef Jeremias prophwyd Duw.

15 Ar hynny, fe a estynnodd Jeremias ei ddeheu-law, ac a roddodd i Judas gleddyf aur, ac wrth ei roddi a ddywedodd fel hyn;

16 Cymmer y cleddyf sanctaidd yma, rhodd Duw, â'r hwn yr archolli di dy wrthwynebwŷr.

17 Fel hyn wedi eu cysuro yn dda trwy eiriau Judas, y rhai oedd dda iawn a nerthol i'w cynhyrfu at wroldeb, ac i gysuro calonnau y gwŷr ieuaingc, hwy a fwriadasant na wersyllent, ond y gosodent ffwy arnynt yn rymmus, ac yn wrol y dibennent y matter law i law, yn gymmaint a bod y ddinas, y Cyssegr, a'r Deml mewn perygl.

18 Canys yr oedd y gofal a gymmerasant hwy am eu gwragedd, a'u plant, eu brodyr, a'u ceraint, yn y cyfrif lleiaf gyd â hwynt: ond yr ofn mwyaf a'r pennaf oedd am y Deml sanctaidd.

19 Hefyd yr oedd yn fawr gofal y rhai oedd yn y ddinas, dros y llu ydoedd allan mewn ymdrech.

20 Ac fel yr oedd pawb yn disgwyl beth a fyddai 'r diben, a'r gelynion weithian wedi nesâu, a'r llu wedi ymfyddino, a'r anifeiliaid wedi eu neillduo i leoedd cymmwys, a'r gwŷr meirch wedi eu cyflëu yn yr esgyll;

21 Maccabëus, gan weled dyfodiad y lliaws, a'r amryw barottoad arfau, a chreulondeb y bwystfilod, a estynnodd allan ei ddwylaw tu a'r nef, ac a alwodd ar yr Arglwydd, yr hwn sydd yn gwneuthur rhyfeddodau; gan wybod nad yw goruchafiaeth yn dyfod wrth arfau, ond ei fod efe yn ei rhoddi i'r rhai teilwng, megis ag y gwelo efe yn dda.

22 Ac wrth weddïo efe a ddywedodd fel hyn; [a] Tydi, Arglwydd, a ddanfonaist dy Angel yn amser Ezecïas brenhin Judea, yr hwn a ddifethodd o wersyll Sennacherib gant a phump a phedwar ugain mil. [a Pen. 8. 19.]

23 Felly yr awrhon, O Arglwydd y nefoedd, anfon Angel da o'n blaen ni, er ofn ac arswyd iddynt.

24 A thrwy nerth dy fraich di tarawer hwy â dychryn, y rhai sydd yn dyfod yn erbyn dy sanctaidd bobl i gablu. Ac fel hyn y diweddodd efe.

25 Yna Nicanor, a'r rhai oedd gyd ag ef, a ddynesasant ag udgyrn, ac â chaniadau.

26 Ond Judas a'r rhai oedd gyd ag ef a aethant ynghŷd â'r gelynion trwy weddi ac ymbil.

27 Felly yn wir, gan ymladd â'u dwylaw, a gweddïo ar Dduw â'u calonnau, hwy a laddasant nid llai nâ phymtheng mil ar hugain: canys trwy ymddangosiad Duw yr oeddynt hwy yn llawen iawn.

28 Yr awrhon pan ddarfu y rhyfel, hwy yn dychwelyd â llawenydd, a wybuant fod [b] Nicanor yn gorwedd yn farw yn ei arfogaeth. [b 1 Mac. 7. 43.]

29 Yna hwy a lefasant yn uchel, ac a fendithiasant yr Arglwydd yn iaith eu gwlad.

30 A Judas, pen-ymddiffynnwr y dinaswŷr ynghorph ac enaid, yr hwn erioed a ddygasai ewyllys da i'r rhai oedd o'i genedl, a orchymynodd dorri pen Nicanor, a'i law, a'i ysgwydd, a'u dwyn i Jerusalem.

31 A phan ddaeth efe yno, wedi galw ynghŷd ei genedl ei hun, a gosod yr offeiriaid ger bron yr allor, efe a alwodd am y rhai oedd o'r tŵr;

32 Ac a ddangosodd iddynt ben Nicanor ysgeler, a llaw 'r cablwr, [c] yr hon trwy fawr falchedd a estynnasai efe allan yn erbyn tŷ sanctaidd yr Holl-alluog. [c Pen. 14. 33.]

33 Ac wedi iddo dorri ymaith dafod Nicanor annuwiol, efe a ddywedodd y rhoddai efe ef i'r adar yn ddrylliau, ac y crogai efe wobr ei ynfydrwydd ef gyferbyn â'r Deml.

34 Felly pawb a foliannasant tu a'r nef y gogoneddus Arglwydd, gan ddywedyd, Bendigedig fyddo yr hwn a gadwodd ei fangre ei hun yn ddihalog.

35 Yna y crogodd efe ben Nicanor ar y tŵr, yn arwydd amlwg ac eglur i bawb o gymmorth yr Arglwydd.

36 A [d] hwy a ordeiniasant i gŷd trwy ddeddf gyffredin, na ollyngid heibio y dydd hwn mewn modd yn y byd yn anenwog; ond cadw yn wyl y trydydd dydd [d 1 Mac. 7. 49.]

ar ddeg o'r deuddegfed mis, yr hwn a
elwir yn iaith y Syriaid Adar, y dydd o
Esther 9. 7, 21. flaen [e] gwyl Mardochëus.
37 Am hynny gan ddigwyddo fel hyn i
Nicanor, a meddiannu o'r Hebreaid y ddi-
nas er yr amser hynny, minnau hefyd a
ddiweddaf yma.
38 Ac os da y gwneuthum, ac megis y
gweddai i'r histori, hynny yw'r peth a
ewyllysiais; ond os yn llesg ac yn annoeth,
hynny yw yr hyn a allwn ei ddwyn i ben.
39 Canys megis ag y mae yn ddrwg yfed
gwin o'r neilldu, ac felly drachefn ddwfr;
ac megis y mae gwin wedi ei gymmysgu
â dwfr, yn hyfryd ac yn flasus: felly goso-
diad y matter allan sydd yn flasus i glustiau
y rhai a ddarllenant yr histori. Ac yma y
bydd diwedd.

DIWEDD YR APOCRYPHA.

# Testament Newydd

EIN

# HARGLWYDD

A'N

# HIACHAWDWR

# IESU GRIST.

RHUF. I. 16.

*Nid oes arnaf gywilydd o Efengyl GRIST: oblegid gallu DUW yw hi er iachawdwriaeth, i bob un a'r sydd yn credu.*

ARGRAPHIAD CYFARGRAPH.

RHYDYCHEN:

*Argraphedig yn Argraphdy Clarendon,*

GAN BENSLEY, COOKE, A COLLINGWOOD,

ARGRAPHWYR I'R BRIF-YSGOL;

Ac a werthir gan E. GARDNER, yn Ystôr-dŷ Biblau Rhydychen, Pater noster Row, Llundain.

1813.

## ¶ YR EFENGYL YN OL

# SANT MATTHEW.

### PEN. I.

*1 Achau Crist o Abraham i Joseph. 18 Ei genhedlu ef o'r Yspryd Glân, a'i eni o Fair forwyn, wedi ei dyweddïo hi â Joseph. 19 Yr angel yn boddloni cam-dybus feddyliau Joseph, ac yn deongl enwau Crist.*

LLYFR [a] cenhedliad Iesu Grist, fab Da-
fydd, fab Abraham.
2 [b] Abraham a genhedlodd Isaac; ac
[c] Isaac a genhedlodd Jacob; a [d] Jacob a
genhedlodd Judas a'i frodyr;
3 A [e] Judas a genhedlodd Phares a Zara
o Thamar; a [f] Phares a genhedlodd Esrom;
ac Esrom a genhedlodd Aram;
4 Ac Aram a genhedlodd Aminadab; ac
Aminadab a genhedlodd Naasson; a Naas-
son a genhedlodd Salmon;
5 A Salmon a genhedlodd Booz o Rachab;
a Booz a genhedlodd Obed o Ruth; ac
Obed a genhedlodd Jesse;
6 A [g] Jesse a genhedlodd Ddafydd fren-
hin; a [h] Dafydd frenhin a genhedlodd Sa-
lomon o'r hon *a fuasai wraig* Urïas;
7 A [i] Salomon a genhedlodd Roboam;
a Roboam a genhedlodd Abïa; ac Abïa a
genhedlodd Asa;
8 Ac Asa a genhedlodd Josaphat; a Josa-
phat a genhedlodd Joram; a Joram a gen-
hedlodd Ozïas;
9 Ac Ozïas a genhedlodd Joatham; a Jo-
atham a genhedlodd Achaz; ac Achaz a
genhedlodd Ezecïas;
10 Ac [k] Ezecïas a genhedlodd Manasses;
a Manasses a genhedlodd Amon; ac Amon
a genhedlodd Josïas;
11 A Josïas a genhedlodd Jechonïas a'i
frodyr, ynghylch amser y symmudiad i Ba-
bilon:
12 Ac wedi'r symmudiad i Babilon, [l] Je-
chonïas a genhedlodd Salathiel; a Salathiel
a genhedlodd Zorobabel;
13 A Zorobabel a genhedlodd Abïud; ac
Abïud a genhedlodd Elïacim; ac Elïacim
a genhedlodd Azor;
14 Ac Azor a genhedlodd Sadoc; a Sadoc
a genhedlodd Achim; ac Achim a genhed-
lodd Elïud;
15 Ac Elïud a genhedlodd Eleazar; ac
Eleazar a genhedlodd Matthan; a Matthan
a genhedlodd Jacob;
16 A Jacob a genhedlodd Joseph, gwr
Mair, o'r hon y ganed Iesu, yr hwn a elwir
Crist.
17 Felly yr holl genhedlaethau o Abraham
hyd Ddafydd, *sydd* bedair cenhedlaeth ar
ddeg; ac o Ddafydd hyd y symmudiad i
Babilon, pedair cenhedlaeth ar ddeg; ac o'r
symmudiad i Babilon hyd Grist, pedair cen-
hedlaeth ar ddeg.
18 ¶ A [m] genedigaeth yr Iesu Grist oedd
fel hyn: Wedi dyweddïo Mair ei fam ef
â Joseph, cyn eu dyfod hwy ynghŷd, hi a
gafwyd yn feichiog [n] o'r Yspryd Glân.
19 A Joseph ei gwr hi, gan ei fod yn
gyfiawn, ac heb chwennych [o] ei gwneuthur
hi yn siampl, a ewyllysiodd ei rhoi hi ymaith
yn ddirgel.
20 Ac efe yn meddwl y pethau hyn, wele,
angel yr Arglwydd a ymddangosodd iddo
mewn breuddwyd, gan ddywedyd, Joseph
mab Dafydd, nac ofna gymmeryd Mair dy
wraig: oblegid yr hyn a † genhedlwyd ynddi
sydd o'r Yspryd Glân.
21 [p] A hi a esgor ar fab, a thi a elwi ei
enw ef IESU: oblegid [q] efe a wared ei bobl
oddi wrth eu pechodau.
22 (A hyn oll a wnaethpwyd, fel y cyf-
lawnid yr hyn a ddywedwyd gan yr
Arglwydd trwy'r prophwyd, gan ddy-
wedyd,
23 [r] Wele, morwyn a fydd feichiog, ac
a esgor ar fab; a ‡ hwy a alwant ei enw ef
Emmanuel; yr hyn o'i gyfieithu yw, Duw
gyd â ni.)
24 A Joseph pan ddeffroes o gwsg, a
wnaeth megis y gorchymynasai angel
yr Arglwydd iddo, ac a gymmerodd ei
wraig:
25 Ac nid adnabu efe hi hyd oni esgorodd
hi ar [s] ei mab cyntaf-anedig. A galwodd
ei enw ef IESU.

[a] Luc 3. 23. [b] Gen. 21. 2, 3. [c] Gen. 25. 26. [d] Gen. 29. 35. [e] Gen. 38. 27. [f] Ruth 4. 18. 1 Chron. 2. 5, 9, &c. [g] 1 Sam. 16. 1. a 17. 12. [h] 2 Sam. 12. 24. [i] 1 Chron. 3. 10, &c. [k] 2 Bren. 20. 21. 1 Chron. 3. 13. [l] 1 Chron. 3. 16, 17. [m] Luc 1. 27.

Y bummed Fwyddyn cyn y Cyfrif cyffredin a elwir Blwyddyn yr Arglwydd. [n] Luc 1. 35. [o] Deut. 24. 1. † Gr. *gaed.* [p] Luc 1. 31. [q] Act. 4. 12. [r] Esay 7. 14. ‡ Neu, *gelwir ei enw ef.* [s] Exod. 13. 2.

### PEN. II.

*1 Y doethion yn cael eu cyfarwyddo at Grist trwy weinidogaeth seren: 11 yn ei addoli ef, ac yn cyflwyno eu hanrhegion. 14 Joseph yn ffoi i'r Aipht, efe, a'r Iesu a'i fam. 16 Herod yn lladd y plant; 20 ac yn marw. 23 Dwyn Crist yn ei ol i Galilea i Nazareth.*

AC [a] wedi geni'r Iesu yn Bethlehem
Judea, yn nyddiau Herod frenhin,
wele, doethion a ddaethant o'r dwyrain i
Jerusalem,
2 Gan ddywedyd, Pa le y mae'r hwn a
anwyd yn Frenhin yr Iuddewon? canys
gwelsom [b] ei seren ef yn y dwyrain, a
daethom i'w addoli ef.
3 Ond pan glybu Herod frenhin, efe a
gyffrowyd, a holl Jerusalem gyd ag ef.
4 A chwedi dwyn ynghŷd yr holl
[c] arch-offeiriaid ac [d] ysgrifenyddion y
bobl, efe a ymofynodd â hwynt pa le y
genid Crist.
5 A hwy a ddywedasant wrtho, Yn
Bethlehem Judea: canys felly'r ysgrifen-
wyd trwy'r prophwyd;
6 A [e] thithau, Bethlehem, tir Judah, nid
lleiaf wyt ym mhlith tywysogion Judah:
canys o honot ti y daw Tywysog yr hwn
a fugeilia fy mhobl Israel.
7 Yna Herod wedi galw'r doethion yn
ddirgel, a'u holodd hwynt yn fanwl am yr
amser yr ymddangosasai'r seren.

Y bedwaredd Fwyddyn cyn y Cyfrif cyffredin a elwir Blwyddyn yr Arglwydd. [a] Luc 2. 6, 7. [b] Num. 24. 17. [c] 2 Chron. 36. 14. [d] 2 Chron. 34. 13. 1 Mac. 5. 42. a 7. 12. [e] Michah 5. 2. Ioan 7. 42.

8 Ac wedi eu danfon hwy i Bethlehem, efe a ddywedodd, Ewch, ac ymofynwch yn fanwl am y mab bychan; a phan gaffoch *ef*, mynegwch i mi, fel y gallwyf finnau ddyfod a'i addoli ef.

9 Hwythau, wedi clywed y brenhin, a aethant; ac wele, y seren a welsent yn y dwyrain a aeth o'u blaen hwy, hyd oni ddaeth hi a sefyll goruwch y lle yr oedd y mab bychan.

10 A phan welsant y seren, llawenychasant â llawenydd mawr dros ben.

11 ¶ A phan ddaethant i'r tŷ, [f] hwy a † welsant y mab bychan gyd â Mair ei fam, a hwy a syrthiasant i lawr, ac a'i haddolasant ef: ac wedi agoryd eu trysorau, a offrymmasant iddo anrhegion; aur, a thus, a myrr.

[f] Psal. 72. 10. Esay 60. 6. † *gawsant.*

12 Ac wedi eu rhybuddio hwy gan Dduw trwy freuddwyd, na ddychwelent at Herod, hwy a aethant drachefn i'w gwlad ar hŷd ffordd arall.

13 Ac wedi iddynt ymado, wele angel yr Arglwydd yn ymddangos i Joseph mewn breuddwyd, gan ddywedyd, Cyfod, cymmer y mab bychan a'i fam, a ffo i'r Aipht, a bydd yno hyd oni ddywedwyf i ti: canys ceisio a wna Herod y mab bychan i'w ddifetha ef.

14 *Ac* yntau pan gyfododd, a gymmerth y mab bychan a'i fam o hŷd nos, ac a giliodd i'r Aipht:

15 Ac a fu yno hyd farwolaeth Herod: fel y cyflawnid yr hyn a ddywedwyd gan yr Arglwydd trwy'r prophwyd, gan ddywedyd, [g] O'r Aipht y gelwais fy mab.

[g] Hos. 11. 1.

16 ¶ Yna Herod, pan weles ei siomni gan y doethion, a ffrommodd yn aruthr, ac a ddanfonodd ac a laddodd yr holl fechgyn oedd yn Bethlehem, ac yn ei holl gyffiniau, o ddwyflwydd oed a than hynny, wrth yr amser yr ymofynasai efe yn fanwl â'r doethion.

17 Yna y cyflawnwyd yr hyn a ddywedasid gan [h] Jeremïas y prophwyd, gan ddywedyd,

[h] Jer. 31. 15.

18 Llef a glybuwyd yn Rama, galar, ac wylofain, ac ochain mawr, Rachel yn wylo *am* ei phlant; ac ni fynnai ei chysuro, am nad oeddynt.

19 ¶ Ond wedi marw Herod, wele angel yr Arglwydd mewn breuddwyd yn ymddangos i Joseph yn yr Aipht,

Y dyddiau ... flwyddyn ... Cyfrif cyffredin a elwir Blwyddyn yr Arglwydd.

20 Gan ddywedyd, Cyfod, a chymmer y mab bychan, a'i fam, a dos i dir Israel: canys y rhai oedd yn ceisio einioes y mab bychan a fuant feirw.

21 Ac wedi ei gyfodi, efe a gymmerth y mab bychan, a'i fam, ac a ddaeth i dir Israel.

22 Eithr pan glybu efe fod Archelaüs yn teyrnasu ar Judea yn lle ei dad Herod, efe a ofnodd fyned yno. Ac wedi ei rybuddio gan Dduw mewn breuddwyd, efe a giliodd [i] i barthau Galilea.

[i] Pen. 3. 13.

23 A phan ddaeth, efe a drigodd mewn dinas a elwid Nazareth: fel y cyflawnid [k] yr hyn a ddywedasid trwy'r prophwydi, [l] Y gelwid ef yn Nazaread.

[k] Barn. 13. 5. [l] Esay 11. 1.

## PEN. III.

1 *Pregeth Ioan, a'i swydd, a'i fuchedd, a'i fedydd; 7 y mae yn ceryddu'r Phariseaid, 13 ac yn bedyddio Crist yn yr Iorddonen.*

Blwyddyn yr Arglwydd 26.

AC yn y dyddiau hynny y daeth [a] Ioan Fedyddiwr, gan bregethu yn niffaethwch Judea,

[a] Marc 1. 4. Luc 3. 2.

2 A dywedyd, Edifarhêwch: canys nesaodd teyrnas nefoedd.

3 Oblegid hwn yw efe yr hwn y dywedwyd am dano gan Esaias y prophwyd, gan ddywedyd, [b] Llef un yn llefain yn y diffaethwch, Parottöwch ffordd yr Arglwydd; gwnewch yn uniawn ei lwybrau ef.

[b] Esay 40. 3. Marc 1. 3. Luc 3. 4.

4 A'r [c] Ioan hwnnw oedd â'i ddillad o flew camel, a gwregys o groen ynghylch ei lwynau: a'i fwyd oedd locustiaid a mel gwyllt.

[c] Ioan 1. 23. Marc 1. 6. Edrych 2 Bren. 1. 8. Zech. 13. 4.

5 [d] Yna'r aeth allan atto ef Jerusalem, a holl Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen:

[d] Marc 1. 5.

6 A hwy a fedyddiwyd ganddo ef yn yr Iorddonen, [e] gan gyffesu eu pechodau.

[e] Act. 19. 4, 18.

7 ¶ A phan welodd efe lawer o'r Phariseaid ac o'r Saduceaid yn dyfod i'w fedydd ef, efe a ddywedodd wrthynt hwy, [f] O genhedlaeth gwiberod, pwy a'ch rhag-rybuddiodd i ffoi rhag [g] y llid a fydd?

[f] Pen. 12. 34. a 23. 33. Luc 3. 7.

8 Dygwch gan hynny ffrwythau addas i edifeirwch.

[g] Rhuf. 5. 9. 1 Thess. 1. 10.

9 Ac na feddyliwch ddywedyd ynoch eich hunain, [h] Y mae gennym ni Abraham yn dad i *ni*: canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y dichon Duw, ie, o'r meini hyn, gyfodi plant i Abraham.

[h] Ioan 8. 33, 39. Act. 13. 26.

10 Ac yr awr hon hefyd y mae'r fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y preniau: [i] pob pren gan hynny yr hwn nid yw yn dwyn ffrwyth da, a dorrir i lawr, ac a deflir yn tân.

[i] Pen. 7. 19. Ioan 15. 6.

11 [k] Myfi yn ddïau ydwyf yn eich bedyddio chwi â dwfr i edifeirwch: eithr yr hwn sydd yn dyfod ar fy ol i, sydd gryfach nâ myfi, yr hwn nid ydwyf deilwng i ddwyn ei esgidiau: [l] efe a'ch bedyddia chwi â'r Yspryd Glân, ac â thân.

[k] Marc 1. 8. Luc 3. 16. Ioan 1. 15, 26. Act. 1. 5. a 11. 16. a 19. 4.

12 Yr hwn *y mae* ei wyntyll yn ei law, ac efe a lwyr-lanhâ ei lawr-dyrnu, ac a gasgl ei wenith i'w ysgubor; eithr yr us a lysg efe â thân annifoddadwy.

[l] Esay 4. 4. Mal. 3. 2, 3.

13 ¶ [m] Yna y daeth yr Iesu o Galilea i'r Iorddonen at Ioan, i'w fedyddio ganddo.

27.

[m] Marc 1. 9. Luc 3. 21.

14 Eithr Ioan a waraf unodd iddo ef, gan ddywedyd, Y mae arnaf fi eisiau fy medyddio gennyt ti, ac a ddeui di attaf fi?

15 Ond yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho ef, Gâd yr awr hon; canys fel hyn y mae'n weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder. Yna efe a adawodd iddo.

[n] Esay 11. 2. a 42. 1. Ioan 1. 32, 33.

16 A'r Iesu, wedi ei fedyddio, a aeth yn y fan i fynu o'r dwfr: ac wele, y nefoedd a agorwyd iddo, ac efe a welodd [n] Yspryd Duw yn disgyn fel colommen, ac yn dyfod arno ef.

[o] Ioan 12. 28.

17 Ac wele [o] lef o'r nefoedd, yn dywedyd, [p] Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd.

[p] Psal. 2. 7. Esay 42. 1. Pen. 12. 18. a 17. 5. Luc 9. 35. Ephes. 1. 6. Col. 1. 13. 2 Petr 1. 17.

## PEN. IV.

1 *Ymprydd Crist, a'i demtiad. 11 Yr angylion yn gweini iddo. 13 Efe yn trigo yn Capernaum, 17 yn dechreu pregethu, 18 yn galw Petr ac Andreas, 21 Iago ac Ioan; 23 ac yn iachâu yr holl gleifion.*

27.

YNA yr [a] Iesu a arweiniwyd i fynu i'r anialwch gan yr yspryd, i'w demtio gan ddiafol.

[a] Marc 1. 12. Luc 4. 1.

2 Ac wedi iddo ymprydio ddeugain niwrnod a deugain nos, ar ol hynny efe a newynodd.

3 A'r temtiwr pan ddaeth atto, a ddywedodd, Os mab Duw wyt ti, arch i'r cerrig hyn fod yn fara.

4 Ac yntau a attebodd ac a ddywedodd, Ysgrifenwyd, [b] Nid trwy fara yn unig y bydd byw dyn, ond trwy bob gair a ddaw allan o enau Duw.

[b] Deut. 8. 3.

5 Yna y cymmerth diafol ef i'r [c] ddinas sanctaidd, ac a'i gosododd ef ar binacl y deml;

[c] Neh. 11. 18. Esay 48. 2. Pen. 27. 53.

6 Ac a ddywedodd wrtho, Os mab Duw wyt ti, bwrw dy hun i lawr; canys ysgrifenwyd, [d] Y rhydd efe orchymyn i'w angylion am danat; a hwy a'th ddygant yn *eu* dwylaw, rhag taro o honot un amser dy droed wrth garreg.

[d] Psal. 91. 11.

7 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ysgrifenwyd drachefn, [e] Na themtia'r Arglwydd dy Dduw.

[e] Deut. 6. 16.

8 Trachefn y cymmerth diafol ef i fynydd tra uchel, ac a ddangosodd iddo holl deyrnasoedd y byd, a'u gogoniant;

9 Ac a ddywedodd wrtho, Hyn oll a roddaf i ti, os syrthi i lawr a'm haddoli i.

10 Yna yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ymaith, Satan; canys ysgrifenwyd, [f] Yr Arglwydd dy Dduw a addoli, ac ef yn unig a wasanaethi.

[f] Deut. 6. 13. a 10. 20. 1 Sam. 7. 3.

11 Yna y gadawodd diafol ef: ac wele, angylion a ddaethant ac a weiniasant iddo.

30. 12 ¶ A [g] phan glybu'r Iesu draddodi Ioan, efe a aeth i Galilea.

[g] Marc 1. 14. Luc 3. 19. a 4. 14, 31. Ioan 4. 43.

13 A chan adaw Nazareth, efe a aeth ac a arhosodd yn Capernaum, yr hon sydd wrth y môr, yngh yffiniau Zabulon a Nephthali:

14 Fel y cyflawnid yr hyn a ddywedwyd trwy Esaias y prophwyd, gan ddywedyd,

15 [h] Tir Zabulon, a thir Nephthali, *wrth* ffordd y môr, tu hwnt i'r Iorddonen, Galilea y Cenhedloedd:

[h] Esay 9. 1, 2.

16 Y bobl oedd yn eistedd mewn tywyllwch, a welodd oleuni mawr; ac i'r rhai a eisteddent ym mro a chysgod angau, y cyfododd goleuni iddynt.

17 ¶ [i] O'r pryd hwnnw y dechreuodd yr Iesu bregethu, a dywedyd, [k] Edifarhêwch: canys nesaodd teyrnas nefoedd.

[i] Marc 1. 14. [k] Pen. 3. 2. a 10. 7.

18 ¶ [l] A'r Iesu yn rhodio wrth for Galilea, efe a ganfu ddau frodyr, Simon, *yr hwn* [m] a elwir Petr, ac Andreas ei frawd, yn bwrw rhwyd i'r môr (canys pysgodwŷr oeddynt)

[l] Marc 1. 16. Luc 5. 2. [m] Ioan 1. 42.

19 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch ar fy ol i, a mi a'ch gwnaf yn bysgodwŷr dynion.

20 A hwy yn y fan, gan adael y rhwydau, a'i canlynasant ef.

21 [n] Ac wedi myned rhagddo oddi yno, efe a welodd ddau frodyr eraill, Iago *fab* Zebedëus, ac Ioan ei frawd, mewn llong gyd â Zebedëus eu tad, yn cyweirio eu rhwydau: ac a'u galwodd hwy.

[n] Marc 1. 19.

22 Hwythau yn ebrwydd, gan adael y llong a'u tad, a'i canlynasant ef.

31. 23 ¶ A'r Iesu a aeth o amgylch holl Galilea, [o] gan ddysgu yn eu synagogau, a phregethu efengyl y deyrnas, a iachâu pob clefyd a phob afiechyd ym mhlith y bobl.

[o] Pen. 9. 35.

24 Ac aeth son am dano ef trwy holl Syria; a hwy a ddygasant atto yr holl rai drwg eu hwyl, a'r rhai yr oedd amryw glefydau a chnofeydd yn eu dala, a'r rhai cythreulig, a'r rhai lloerig, a'r sawl oedd â'r parlys arnynt; ac efe a'u hiachaodd hwynt.

25 [p] A thorfeydd lawer a'i canlynasant ef o Galilea, a Decapolis, a Jerusalem, a Judea, ac *o'r* tu hwnt i'r Iorddonen.

[p] Marc 3. 7.

PEN. V.

1 *Crist yn dechreu ei bregeth ar y mynydd:* 3 *ac yn dangos pwy sydd ddedwydd,* 13 *pwy yw halen y ddaear,* 14 *goleuni y byd, dinas ar fryn,* 15 *y ganwyll:* 17 *ei ddyfod ef i gyflawni'r gyfraith.* 21 *Beth yw lladd,* 27 *a godinebu,* 33 *a thyngu.* 38 *Y mae yn annog i ddioddef cam,* 44 *i garu, ie, ein gelynion,* 48 *ac i ymegnïo at berffeithrwydd.*

A Phan welodd *yr Iesu* y tyrfaoedd, efe a esgynodd i'r mynydd: ac wedi iddo eistedd, ei ddisgyblion a ddaethant atto. 31

2 Ac efe a agorodd ei enau, ac a'u dysgodd hwynt, gan ddywedyd,

3 [a] Gwŷn eu byd y tlodion yn yr yspryd: canys eiddynt yw teyrnas nefoedd.

4 [b] Gwŷn eu byd y rhai sydd yn galaru: canys hwy a ddiddenir.

5 [c] Gwŷn eu byd y rhai addfwyn: canys [d] hwy a etifeddant y ddaear.

6 Gwŷn eu byd y rhai sydd arnynt newyn a syched am gyfiawnder: [e] canys hwy a ddiwellir.

7 Gwŷn eu byd y rhai trugarogion: [f] canys hwy a gânt drugaredd.

8 [g] Gwŷn eu byd y rhai pur o galon: canys [h] hwy a welant Dduw.

9 Gwŷn eu byd y tangnefeddwŷr: canys hwy a elwir yn blant i Dduw.

10 [i] Gwŷn eu byd y rhai a erlidir o achos cyfiawnder: canys eiddynt yw teyrnas nefoedd.

11 [k] Gwŷn eich byd pan y'ch gwaradwyddant, ac *y'ch* erlidiant, ac y dywedant bob drygair yn eich erbyn er fy mwyn i, a hwy yn gelwyddog.

12 Byddwch lawen a hyfryd: canys mawr *yw* eich gwobr yn y nefoedd: oblegid [l] felly yr erlidiasant hwy y prophwydi a fu o'ch blaen chwi.

13 ¶ Chwi yw halen y ddaear: [m] eithr o diflasodd yr halen, â pha beth yr helltir ef? ni thâl efe mwy ddim ond i'w fwrw allan, a'i sathru gan ddynion.

14 Chwi yw goleuni'r byd. Dinas a osodir ar fryn, ni ellir ei chuddio.

15 Ac ni [n] oleuant ganwyll, a'i dodi dan lestr, ond mewn canhwyllbren; a hi a oleua i bawb sy yn y tŷ.

16 Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, [o] fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac [p] y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd.

17 ¶ Na thybiwch fy nyfod i dorri'r gyfraith, neu'r prophwydi: ni ddaethum i dorri, ond i gyflawni.

18 Canys yn wir meddaf i chwi, [q] Hyd onid êl y nef a'r ddaear heibio, nid â un iod nac un tippyn o'r gyfraith heibio, hyd oni chwblhaer oll.

19 [r] Pwy bynnag gan hynny a dorro un o'r gorchymynion lleiaf hyn, ac a ddysgo i ddynion felly, lleiaf y gelwir ef yn nheyrnas nefoedd: ond pwy bynnag a'*u* gwnelo, ac a'u dysgo i *eraill*, hwn a elwir yn fawr yn nheyrnas nefoedd.

20 Canys meddaf i chwi, Oni bydd eich cyfiawnder yn helaethach na *chyfiawnder* y 'sgrifenyddion a'r Phariseaid, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd.

21 ¶ Clywsoch ddywedyd † gan y rhai gynt, [s] Na ladd; a phwy bynnag a laddo, euog fydd o farn:

22 Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi, [t] Pob un a ddigio wrth ei frawd heb ystyr, a

[a] Luc 6. 20. Diar. 16. 19. a 29. 23. Esay 57. 15. [b] Esay 61. 3. Luc 6. 21. [c] Psal. 37. 11. [d] Rhuf. 4. 13. [e] Esay 55. 1. a 65. 13. [f] Pen. 6. 14. Marc 11. 25. [g] 2 Tim. 1. 16. Iago 2. 13. [h] Psal. 15. 2. a 24. 4. Heb. 12. 14. [h] 1 Cor. 13. 12. 1 Ioan 3. 2. [i] 2 Tim. 2. 12. 1 Petr 3. 14. [k] Luc 6. 22. 1 Petr 4. 14. [l] Act. 7. 52. [m] Marc 9. 50. Luc 14. 34. [n] Marc 4. 21. Luc 8. 16. a 11. 33. [o] 1 Petr 2. 12. [p] 1 Cor. 14, 25. [q] Luc 16. 17. [r] Iago 2. 10. † Neu, *wrth*. [s] Exod. 20. 13. Deut. 5. 17. [t] 1 Ioan 3. 15.

fydd euog o farn: a phwy bynnag a ddywedo
wrth ei frawd, Raca, a fydd euog o gyngor:
a phwy bynnag a ddywedo, O ynfyd, a fydd
euog o dân uffern.
23 Gan hynny, os dygi dy rodd i'r allor,
ac yno dyfod i'th gof fod gan dy frawd ddim
yn dy erbyn;
24 Gâd yno dy rodd ger bron yr allor,
a [u] dos ymaith: yn gyntaf cymmoder di
â'th frawd, ac yna tyred ac offrwm dy rodd.
25 [x] Cyttuna â'th wrthwynebwr ar frys,
[y] tra fyddech ar y ffordd gyd ag ef; rhag un
amser i'th wrthwynebwr dy roddi di yn
llaw'r barnwr, ac i'r barnwr dy roddi at y
swyddog, a'th daflu yngharchar.
26 Yn wir meddaf i ti, Ni ddeui di
allan oddi yno, hyd oni thalech y ffyrling
eithaf.
27 ¶ Clywsoch ddywedyd gan y rhai gynt,
[z] Na wna odineb.
28 Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi,
fod pob un a'r sydd [a] yn edrych ar wraig
i'w chwennychu hi, wedi gwneuthur eisoes
odineb â hi yn ei galon.
29 [b] Ac os dy lygad dehau a'th rwystra,
[c] tyn ef allan, a thafl oddi wrthyt: canys
da i ti golli un o'th aelodau, ac na thafler
dy holl gorph i uffern.
30 Ac os dy law ddehau a'th rwystra, tor
hi ymaith, a thafl oddi wrthyt: canys da i
ti golli un o'th aelodau, ac na thafler dy holl
gorph i uffern.
31 A dywedwyd, [d] Pwy bynnag a oll-
yngo ymaith ei wraig, rhoed iddi lythyr
ysgar.
32 Ond yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi,
fod [e] pwy bynnag a ollyngo ymaith ei
wraig, ond o achos godineb, yn peri iddi
wneuthur godineb: a phwy bynnag a bri-
odo yr hon a ysgarwyd, y mae efe yn
gwneuthur godineb.
33 ¶ Trachefn, clywsoch [f] ddywedyd gan
y rhai gynt, [g] Na thwng anudon: eithr [h] tâl
dy lwon i'r Arglwydd.
34 Ond yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych
chwi, [i] Na thwng ddim: nac i'r nef; canys
[k] gorseddfa Duw ydyw:
35 Nac i'r ddaear; canys troed-faingc ei
draed ydyw: nac i Jerusalem; canys [l] dinas
y brenhin mawr ydyw.
36 Ac na thwng i'th ben; am na elli wneu-
thur un blewyn yn wŷn, neu yn ddu.
37 Eithr bydded eich ymadrodd chwi,
Ië, ïe; Nag ê, nag ê: oblegid beth bynnag
*sydd* dros ben hyn, o'r drwg y mae.
38 ¶ Clywsoch ddywedyd, [m] Llygad am
lygad, a dant am ddant.
39 Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd wrth-
ych chwi, [n] Na wrthwynebwch ddrwg:
ond pwy bynnag a'th darawo ar dy rudd
ddehau, tro'r llall iddo hefyd.
40 Ac i'r neb a fynno ymgyfreithio â
thi, a dwyn dy bais, gâd iddo *dy* gochl
hefyd.
41 A phwy bynnag [o] a'th gymmhello un
filldir, dos gyd ag ef ddwy.
42 Dyro i'r hwn a ofyno gennyt; ac
[p] na thro oddi wrth yr hwn sydd yn ewy-
llysio echwyna gennyt.
43 ¶ Clywsoch ddywedyd, [q] Câr dy gym-
mydog, a chasâ dy elyn.
44 Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd wrth-
ych chwi, [r] Cerwch eich gelynion, bendith-
iwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch

u Job 42. 8. Pen. 18. 19. 1 Tim. 2. 8. 1 Petr 3. 7. x Luc 12. 58. y Psal. 32. 6. Esay 55. 6. z Exod. 20. 14. Deut. 5. 18. a Job 31. 1. b Pen. 18. 8. Marc 9. 43—47. c Edrych Pen. 19. 12. Rhuf. 8. 13. 1 Cor. 9. 27. Col. 3. 5. d Deut. 24. 1. Edrych Pen. 19. 3, &c. Marc 10. 2, &c. e Pen. 19. 9. Luc 16. 18. 1 Cor. 7. 10, 11. f Pen. 23. 16. g Exod. 20. 7. Lef. 19. 12. Deut. 5. 11. h Deut. 23. 23. i Pen. 23. 16. a 18. 22. Iago 5. 12. k Esay 66. 1. l Psal. 48. 2. m Exod. 21. 24. Lef. 24. 20. Deut. 19. 21. n Diar. 24. 29. Luc 6. 29. Rhuf. 12. 17, 19. 1 Cor. 6. 7. 1 Thess. 5. 15. 1 Petr 3. 9. o Edrych Pen. 27. 32. Marc 15. 21.

p Deut. 15. 8, 10. Luc 6. 35. q Lef. 19. 18. r Luc 6. 27. Rhuf. 12. 14, 20.

dda i'r sawl a'ch casânt, a [s] gweddïwch
dros y rhai a wnel niweid i chwi, ac a'ch
erlidiant;
45 Fel y byddoch blant i'ch Tad yr
hwn *sydd* yn y nefoedd: canys y mae efe
yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac
yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn.
46 [t] Oblegid os cerwch y sawl a'ch caro,
pa wobr sydd i chwi? oni wna'r publicanod
hefyd yr un peth?
47 Ac os cyfarchwch well i'ch brodyr
yn unig, pa ragoriaeth yr ydych chwi yn ei
wneuthur? onid ydyw y publicanod hefyd
yn gwneuthur felly?
48 Byddwch chwi gan hynny yn ber-
ffaith, [u] fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn
y nefoedd yn berffaith.

s Luc 23. 34. Act. 7. 60. 1 Cor. 4. 12, 13. 1 Petr 2. 23. a 3. 9. t Luc 6. 32. u Ephes. 5. 1.

## PEN. VI.

*1 Crist yn myned rhagddo yn ei bregeth ar y mynydd; gan draethu am elusen, 5 a gweddi, 14 maddeu i'n brodyr, 16 ac ympryd; 19 pa le y mae i ni roddi ein trysor i gadw; 24 ynghylch gwasanaethu Duw a mammon: 25 yn annog na bydder gofalus am bethau bydol; 33 ond am geisio teyrnas Dduw.*

GOCHELWCH rhag gwneuthur eich 31.
[t] elusen yngŵydd dynion, er mwyn
cael eich gweled ganddynt: os amgen, ni
chewch dâl gan eich Tad yr hwn sydd yn y
nefoedd.
2 Am hynny [a] pan wnelych elusen, na
udgana o'th flaen, fel y gwna'r rhagrith-
wŷr, yn y synagogau, ac ar yr heolydd,
fel y molianner hwy gan ddynion. Yn
wir meddaf i chwi, Y maent yn derbyn
eu gwobr.
3 Eithr pan wnelych di elusen, na wy-
bed dy *law* aswy pa beth a wna dy *law*
ddehau:
4 Fel y byddo dy elusen yn y dirgel: a'th
Dad yr hwn a wêl yn y dirgel, efe [b] a dâl
i ti yn yr amlwg.
5 ¶ A phan weddïech, na fydd fel y
rhagrithwŷr: canys hwy a garant weddïo
yn sefyll yn y synagogau, ac yngbonglau'r
heolydd, fel yr ymddangosont i ddynion.
Yn wir meddaf i chwi, Y maent yn derbyn
eu gwobr.
6 Ond tydi, pan weddïech, [c] dos i'th
ystafell; ac wedi cau dy ddrws, gweddïa
ar dy Dad yr hwn *sydd* yn y dirgel; a'th
Dad yr hwn a wêl yn y dirgel, a dâl i ti yn
yr amlwg.
7 A [d] phan weddïoch, na fyddwch siarad-
us, fel y cenhedloedd: canys y maent hwy
yn tybied y cânt eu gwrandaw am eu haml
eiriau.
8 Na fyddwch gan hynny debyg iddynt
hwy: canys gŵyr eich Tad pa bethau sy
arnoch eu heisiau, cyn gofyn o honoch
ganddo.
9 Am hynny gweddïwch chwi fel hyn:
[e] Ein Tad, yr hwn *wyt* yn y nefoedd, sanct-
eiddier dy Enw.
10 Deled dy deyrnas. Gwneler dy ewy-
llys, megis yn y nef, *felly* ar y ddaear he-
fyd.
11 Dyro i ni heddyw ein bara [f] beu-
nyddiol.
12 A maddeu i ni ein dyledion, fel y
maddeuwn ninnau i'n dyledwŷr.
13 Ac nac arwain ni i brofedigaeth; eithr
gwared ni rhag drwg. [g] Canys eiddot ti
yw'r deyrnas, a'r nerth, a'r gogoniant, yn
oes oesoedd. Amen.

t Deut. 24. 13. Psal. 112. 9. Dan. 4. 27. 2 Cor. 9. 9, 10. a Rhuf. 12. 8. b Luc 14. 14. c 2 Bren. 4. 33. d Eccl. 7. 14. e Luc 11. 2. f Edrych Job 23. 12. Diar. 30. 8. g 1 Chron. 29. 11.

[h] Eccl. 28. 1, 28. Marc 11. 25. Eph. 4. 32. Col. 3. 13.

14 [h] Oblegid os maddeuwch i ddynion eu camweddau, eich Tad nefol a faddeu hefyd i chwithau:

[i] Pen. 18. 35. Iago 2. 13.

15 Eithr [i] oni faddeuwch i ddynion eu camweddau, ni faddeu eich Tad eich camweddau chwithau.

16 ¶ Hefyd, pan ymprydioch, na fyddwch fel y rhagrithwŷr, yn wyneb-drist: canys anffurfio eu hwynebau y maent, fel yr ymddangosont i ddynion eu bod yn ymprydio. Yn wir meddaf i chwi, Y maent yn derbyn eu gwobr.

17 Eithr pan ymprydiech di, enneinia dy ben, a golch dy wyneb;

18 Fel nad ymddangosech i ddynion dy fod yn ymprydio, ond i'th Dad yr hwn sydd yn y dirgel: a'th Dad yr hwn sydd yn gweled yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg.

[k] Diar. 23. 4. Heb. 13. 5. Iago 5. 1, &c.

19 ¶ [k] Na thrysorwch iwch' drysorau ar y ddaear, lle y mae gwyfyn a rhwd yn llygru, a lle y mae lladron yn cloddio trwodd ac yn lladratta:

[l] Eccl. 29. 11. Luc 12. 33. 1 Tim. 6. 19. 1 Petr 1. 4.

20 [l] Eithr trysorwch iwch' drysorau yn y nef, lle nid oes na gwyfyn na rhwd yn llygru, a lle ni's cloddia lladron trwodd ac ni's lladrattânt.

21 Canys lle y mae eich trysor, yno y bydd eich calon hefyd.

[m] Luc 11. 34.

22 [m] Canwyll y corph yw'r llygad: am hynny o bydd dy lygad yn syml, dy holl gorph fydd yn oleu.

23 Eithr os bydd dy lygad yn ddrwg, dy holl gorph fydd yn dywyll. Am hynny os bydd y goleuni sydd ynot yn dywyllwch, pa faint *fydd* y tywyllwch!

[n] Luc 16. 13.

24 ¶ [n] Ni ddichon neb wasanaethu dau arglwydd: canys naill ai efe a gasâ y naill, ac a gâr y llall; ai efe a ymlŷn wrth y naill, ac a esgeulusa'r llall. [o] Ni ellwch wasanaethu Duw a mammon.

[o] Gal. 1. 10. 1 Tim. 6. 17. Iago 4. 4. 1 Ioan 2. 15.

25 Am hynny meddaf i chwi, [p] Na ofelwch am eich bywyd, pa beth a fwyttaoch, neu pa beth a yfoch; neu am eich corph, pa beth a wisgoch. Onid yw'r bywyd yn fwy nâ'r bwyd, a'r corph *yn fwy* nâ'r dillad?

[p] Psal. 55. 22. Luc 12. 22. Phil. 4. 6. 1 Petr 5. 7.

26 [q] Edrychwch ar adar y nefoedd: oblegid nid ydynt yn hau, nac yn medi, nac yn cywain i ysguboriau; ac y mae eich Tad nefol yn eu porthi hwy. Onid ydych chwi yn rhagori llawer arnynt hwy?

[q] Job 38. 41. Psal. 147. 9. Luc 12. 24.

27 A phwy o honoch gan ofalu, a ddichon ychwanegu un cufydd at ei faintioli?

28 A phaham yr ydych chwi yn gofalu am ddillad? Ystyriwch lili'r maes, pa fodd y maent yn tyfu: nid ydynt nac yn llafurio, nac yn nyddu;

29 Eithr yr wyf yn dywedyd i chwi, na wisgwyd Salomon yn ei holl ogoniant fel un o'r rhai hyn.

30 Am hynny os dillada Duw felly lysieuyn y maes, yr hwn sydd heddyw, ac y foru a fwrir i'r ffwrn, oni *ddillada efe* chwi yn hytrach o lawer, O chwi o ychydig ffydd?

31 Am hynny na ofelwch, gan ddywedyd, Beth a fwyttawn? neu, Beth a yfwn? neu, A pha beth yr ymddilladwn?

32 (Canys yr holl bethau hyn y mae'r Cenhedloedd yn eu ceisio) oblegid gŵyr eich Tad nefol fod arnoch eisiau yr holl bethau hyn.

[r] Edrych 1 Bren. 3. 13. Psal. 37. 25. Luc 12. 31.

33 Eithr [r] yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg.

34 Na ofelwch gan hynny dros drannoeth: canys trannoeth a ofala am ei bethau ei hun. Digon i'r diwrnod ei ddrwg ei hun.



## PEN. VII.

1 *Crist yn gorphen ei bregeth ar y mynydd; ac yn gwahardd barn ehud,* 6 *a bwrw pethau sanctaidd i gŵn:* 7 *yn annog i weddio,* 13 *i fyned i mewn i'r porth cyfyng,* 15 *i ymgadw rhag gau-brophwydi;* 21 *na byddom wrandawŷr yn unig, ond gwneuthurwŷr y gair,* 24 *a chyffelyb i dai wedi eu hadeiladu ar graig,* 26 *ac nid ar y tywod.*

31.

NA [a] fernwch, fel na'ch barner.

[a] Luc 6. 37. Rhuf. 2. 1. 1 Cor. 4. 3, 5. Iago 4. 11, 12.

2 Canys â pha farn y barnoch, y'ch bernir; [b] ac â pha fesur y mesuroch, yr adfesurir i chwithau.

[b] Marc 4. 24. Luc 6. 38.

3 [c] A phaham yr wyt yn edrych ar y brycheuyn sydd yn llygad dy frawd, ac nad ydwyt yn ystyried y trawst sydd yn dy lygad dy hun?

[c] Luc 6. 41.

4 Neu pa fodd y dywedi wrth dy frawd, Gâd i mi fwrw allan y brycheuyn o'th lygad; ac wele, drawst yn dy lygad dy hun?

5 *Oh* ragrithiwr, bwrw allan yn gyntaf y trawst o'th lygad dy hun; ac yna y gweli yn eglur fwrw y brycheuyn allan o lygad dy frawd.

6 ¶ [d] Na roddwch y peth *sydd* sanctaidd i'r cwn, ac na theflwch eich gemmau o flaen y moch; rhag iddynt eu sathru dan eu traed, a throi a'ch rhwygo chwi.

[d] Diar. 9. 8. a 23. 9.

7 ¶ [e] Gofynwch, a rhoddir i chwi; ceisiwch, a chwi a gewch; curwch, ac fe agorir i chwi.

[e] Pen. 21. 22. Marc 11. 24. Luc 11. 9. Ioan 14. 13. a 15. 7. a 16. 23, 24. Iago 1. 5, 6. 1 Ioan 3. 22. a 5. 14.

8 Canys [f] pob un sy'n gofyn, sy'n derbyn; a'r neb sy'n ceisio, sy'n cael; ac i'r hwn sydd yn curo, yr agorir.

9 Neu a oes un dyn o honoch, yr hwn os gofyn ei fab iddo fara, a rydd iddo garreg?

10 Ac os gofyn efe bysgodyn, a ddyry efe sarph iddo?

[f] Diar. 8. 17. Jer. 29. 12.

11 Os chwychwi gan hynny, [g] a chwi yn ddrwg, a fedrwch roddi rhoddion da i'ch plant, pa faint mwy y rhydd eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd bethau da i'r rhai a ofynant iddo?

[g] Gen. 6. 5. a 8. 21.

12 Am hynny [h] pa bethau bynnag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy: canys [i] hyn yw'r gyfraith a'r prophwydi.

[h] Tob. 4. 15. Luc 6. 31. [i] Pen. 22. 40. Rhuf. 13. 8, 9, 10. Gal. 5. 14. 1 Tim. 1. 5.

13 ¶ [k] Ewch i mewn trwy'r porth cyfyng: canys ehang *yw*'r porth, a llydan *yw*'r ffordd sydd yn arwain i ddistryw; a llawer yw y rhai sydd yn myned i mewn trwyddi:

[k] Luc 13. 24.

14 † Oblegid cyfyng *yw*'r porth, a chul *yw*'r ffordd, sydd yn arwain i'r bywyd; ac ychydig yw y rhai sydd yn ei chael hi.

† *Mor gyfyng.*

15 ¶ [l] Ymogelwch rhag gau-brophwydi, [m] y rhai a ddeuant attoch yngwisgoedd defaid, ond oddi mewn bleiddiaid rheibus ydynt hwy.

[l] Deut. 13. 3. Jer. 23. 16. Pen. 24. 4. Rhuf. 16. 17. Eph. 5. 6. Col. 2. 8. 1 Ioan 4. 1.

16 Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt. [n] A gasgl rhai rawnwin oddi ar ddrain, neu ffigys oddi ar ysgall?

[m] Michah 3. 5. 2 Tim. 3. 5.

17 Felly [o] pob pren da sydd yn dwyn ffrwythau da; ond y pren drwg sydd yn dwyn ffrwythau drwg.

[n] Luc 6. 43. [o] Pen. 12. 33.

18 Ni ddichon pren da ddwyn ffrwythau drwg, na phren drwg ddwyn ffrwythau da.

19 [p] Pob pren heb ddwyn ffrwyth da, a dorrir i lawr, ac a deflir yn tân.

[p] Pen. 3. 10. Ioan 15. 2, 6.

20 O herwydd paham, wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt.

q Hos. 8. 2. 21 ¶ q Nid pob un a'r sydd yn dywedyd
Pen. 25. 11. Luc 6. 46. wrthyf, Arglwydd, Arglwydd, a ddaw i
a 13. 25. mewn i deyrnas nefoedd; ond yr hwn
Act. 19. 13. sydd yn gwneuthur ewyllys fy Nhad yr
Rhuf. 2. 13. Iago 1. 22. hwn sydd yn y nefoedd.
r Num. 24. 22 Llawer a ddywedant wrthyf yn y dydd
4. hwnnw, Arglwydd, Arglwydd, oni r phro-
Ioan 11. 51. phwydasom yn dy enw di? ac oni fwriasom
1 Cor. 13. 2. allan gythreuliaid yn dy enw di? ac oni
wnaethom wyrthiau lawer yn dy enw di?
s Luc 13. 23 Ac s yna yr addefaf wrthynt, t Ni's
25, 27. 2 Tim. 2. adnabûm chwi erioed: u ewch ymaith oddi
19. wrthyf, chwi weithredwŷr anwiredd.
t Pen. 25. 12. 24 ¶ Gan hynny x pwy bynnag sy'n
u Psal. 6. gwrando fy ngeiriau hyn, ac yn eu gwneu-
8. thur, mi a'i cyffelybaf ef i wr doeth yr hwn
Pen. 25. 41. a adeiladodd ei dŷ ar y graig:
x Luc 6. 47. 25 A'r gwlaw a ddisgynodd, a'r llifeir-
iaint a ddaethant, a'r gwyntoedd a chwyth-
asant, ac a ruthrasant ar y tŷ hwnnw; ac
ni syrthiodd: oblegid sylfaenesid ef ar y
graig.
26 A phob un a'r sydd yn gwrando fy
ngeiriau hyn, ac heb eu gwneuthur, a gy-
ffelybir i wr ffol, yr hwn a adeiladodd ei dŷ
ar y tywod:
27 A'r gwlaw a ddisgynodd, a'r llif-ddyfr-
oedd a ddaethant, a'r gwyntoedd a chwyth-
asant, ac a gurasant ar y tŷ hwnnw; ac efe
a syrthiodd, a'i gwymp a fu fawr.
28 A bu wedi i'r Iesu orphen y geiriau
y Marc 1. hyn, y y torfeydd a synnasant wrth ei ddysg-
22. a 6. 2. Luc 4. 32. eidiaeth ef.
z Ioan 7. 29 z Canys yr oedd efe yn eu dysgu
46. hwynt fel *un* ag awdurdod ganddo, ac nid
fel yr ysgrifenyddion.

## PEN. VIII.

*2 Crist yn glanhâu'r gwahan-glwyfus, 5 yn
iachâu gwas y canwriad, 14 a mam gwraig
Petr, 16 a llawer o rai clwyfus eraill: 19
yn dangos pa fodd y mae ei ddilyn ef: 23
yn gostegu'r dymmestl ar y môr: 28 yn
gyrru cythreuliaid allan o ddau gythreulig;
31 ac yn caniadu iddynt fyned i'r moch.*

31. AC wedi ei ddyfod ef i wared o'r my-
nydd, torfeydd lawer a'i canlynasant
ef.
a Marc 1. 2 a Ac wele, *un* gwahan-glwyfus a dda-
40. eth ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd,
Luc 5. 12. Arglwydd, os mynni, ti a elli fy nglan-
hâu i.
3 A'r Iesu a estynodd *ei* law, ac a gy-
ffyrddodd ag ef, gan ddywedyd, Mynnaf,
glanhâer di. Ac yn y fan ei wahan-glwyf ef
a lanhawyd.
b Pen. 9. 4 A dywedodd yr Iesu wrtho, b Gwel na
30. ddywedych wrth neb; eithr dos, dangos dy
Marc 5. 43. hun i'r offeiriad, ac offrymma'r rhodd
c Lef. 14. a orchymynodd c Moses, er tystiolaeth id-
3, 4, 10. dynt.
d Luc 7. 1. 5 ¶ d Ac wedi dyfod yr Iesu i mewn i
Capernaum, daeth atto ganwriad, gan ddei-
syfu arno,
6 A dywedyd, Arglwydd, y mae fy ngwas
yn gorwedd gartref yn glaf o'r parlys, ac
mewn poen ddirfawr.
7 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Mi a
ddeuaf ac a'i hiachâf ef.
8 A'r canwriad a attebodd ac a ddywed-
e Luc 15. odd, Arglwydd, e nid ydwyf fi deilwng i ddy-
19, 21. fod o honot dan fy nghronglwyd: eithr yn
f Psal. 107. unig f dywed y gair, a'm gwas a iacheir.
20. 9 Canys dyn ydwyf finnau dan awdur-
dod, a chennyf filwŷr danaf: a dywedaf
wrth hwn, Cerdda, ac efe a â; ac wrth arall,

Tyred, ac efe a ddaw; ac wrth fy ngwas,
Gwna hyn, ac efe a'i gwna.
10 A'r Iesu pan glybu, a ryfeddodd, ac a
ddywedodd wrth y rhai oedd yn canlyn, Yn
wir meddaf i chwi, Ni chefais gymmaint
ffydd, na ddo yn yr Israel.
11 Ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y
daw g llawer o'r dwyrain a'r gorllewin, ac a g Mal. 1.
eisteddant gyd ag Abraham ac Isaac a Jacob 11.
yn nheyrnas nefoedd. Luc 13. 29.
12 Ond h plant y deyrnas i a deflir i'r ty- h Pen. 21.
wyllwch eithaf: yno y bydd wylofain a 43. i Pen. 13.
rhingcian dannedd. 42, 50. a 22.
13 A dywedodd yr Iesu wrth y canwr- 13. a 24. 51.
iad, Dos ymaith; ac megis y credaist, bydd- a 25. 30.
ed i ti. A'i was a iachawyd yn yr awr Luc 13. 28.
honno.
14 ¶ k A phan ddaeth yr Iesu i dŷ Petr, k Marc 1.
efe a welodd † l ei chwegr ef yn gorwedd, 29.
ac yn glaf o'r cryd. Luc 4. 38.
15 Ac efe a gyffyrddodd â'i llaw hi; a'r † *Sef mam ei*
cryd a'i gadawodd hi: a hi a gododd, ac a *wraig ef.* l 1 Cor. 9.
wasanaethodd arnynt. 5.
16 ¶ m Ac wedi ei hwyrhâu hi, hwy a m Marc 1.
ddygasant atto lawer o rai cythreulig: ac 32.
efe a fwriodd allan yr ysprydion â'i air, ac Luc 4. 40.
a iachaodd yr holl gleifion;
17 Fel y cyflawnid yr hyn a ddywedasid
trwy Esaias y prophwyd, gan ddywedyd,
n Efe a gymmerodd ein gwendid ni, ac a n Esay 53.
ddug *ein* clefydau. 4. 1 Petr 2. 24.
18 ¶ A'r Iesu, pan welodd dorfeydd lawer
o'i amgylch, a orchymynodd fyned drosodd
i'r lan arall.
19 A o rhyw ysgrifenydd a ddaeth ac a o Luc 9.
ddywedodd wrtho, Athraw, mi a'th ganly- 57.
naf i ba le bynnag yr elych.
20 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, *Y mae*
ffauau gan y llwynogod, a chan ehediaid y
nefoedd nythod; ond gan Fab y dyn nid
oes le i roddi ei ben i *lawr.*
21 Ac un arall o'i ddisgyblion a ddywed-
odd wrtho, Arglwydd, p gâd i mi yn gyntaf p 1 Bren.
fyned a chladdu fy nhad. 19. 20.
22 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Canlyn
fi; a gâd i'r meirw gladdu eu meirw.
23 ¶ q Ac wedi iddo fyned ‡ i'r llong, ei q Marc 4.
ddisgyblion a'i canlynasant ef. 35.
24 Ac wele, bu cynnwrf mawr yn y môr, Luc 8. 23.
hyd oni chuddiwyd y llong gan y tonnau: ‡ *i long.*
eithr efe oedd yn cysgu.
25 A'i ddisgyblion a ddaethant *atto,* ac a'i
deffroasant, gan ddywedyd, Arglwydd, cadw
ni: darfu am danom.
26 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Paham
yr ydych yn ofnus, O chwi o ychydig ffydd?
Yna r y cododd efe, ac y ceryddodd y gwynt- r Psal. 107.
oedd a'r môr; a bu dawelwch mawr. 29.
27 A'r dynion a ryfeddasant, gan ddy-
wedyd, Pa ryw un yw hwn, gan fod y
gwyntoedd hefyd a'r môr yn ufuddhâu
iddo?
28 ¶ s Ac wedi ei ddyfod ef i'r lan arall, s Marc 5. 1.
i wlad y Gergesiaid, dau ddieflig a gyfarfu- Luc 8. 26.
ant ag ef, y rhai a ddeuent o'r beddau, yn
dra ffyrnig, fel na allai neb fyned y ffordd
honno.
29 Ac wele, hwy a lefasant, gan ddywe-
dyd, Iesu Fab Duw, beth sydd i ni *a wne-
lom* â thi? a ddaethost ti yma i'n poeni ni
cyn yr amser?
30 Ac yr oedd ym mhell oddi wrthynt
genfaint o foch lawer, yn pori.
31 A'r cythreuliaid a ddeisyfiasant arno,
gan ddywedyd, Os bwri ni allan, caniattâ i
ni fyned ymaith i'r genfaint foch.

32 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch.
A hwy wedi myned allan, a aethant i'r
genfaint foch. Ac wele, yr holl genfaint
foch a ruthrodd dros y dibyn i'r môr, ac
a fuant feirw yn y dyfroedd.
† ceidw-aid. 33 A'r † meichiaid a ffoisant: ac wedi
eu dyfod hwy i'r ddinas, hwy a fynegas-
[t] Edrych Deut. 5. 25. ant bob peth; a pha beth a ddarfuasai i'r
1 Bren. 17. 18. rhai dieflig.
Luc 5. 8. 34 Ac wele, yr holl ddinas a ddaeth allan
Act. 16. 39. i gyfarfod â'r Iesu: a phan ei gwelsant,
[t] attolygasant iddo ymadael o'u cyffiniau
hwynt.

PEN. IX.

*2 Crist yn iachâu un claf o'r parlys, 9 yn galw Matthew o'r dollfa, 10 yn bwytta gyd â phublicanod a phechaduriaid, 14 yn ymddiffyn ei ddisgyblion am nad ymprydient, 20 yn iachâu'r difer-lif gwaed, 23 yn cyfodi merch Jairus o farw, 27 yn rhoddi eu golwg i ddau ddyn dall, 32 yn iachâu mudan cythreulig, 36 ac yn tosturio wrth y dyrfa.*

31. AC efe a aeth i mewn i'r llong, ac a
aeth trosodd, ac a ddaeth i'w ddinas
ei hun.
[a] Marc 2. 3. 2 [a] Ac wele, hwy a ddygasant atto wr
Luc 5. 18. claf o'r parlys, yn gorwedd mewn gwely:
a'r Iesu yn gweled eu ffydd hwy, a ddy-
wedodd wrth y claf o'r parlys, *Ha* fab,
cymmer gysur; maddeuwyd i ti dy bech-
odau.
3 Ac wele, rhai o'r ysgrifenyddion a ddy-
wedasant ynddynt eu hunain, Y mae hwn
yn cablu.
4 A phan welodd yr Iesu eu meddyliau,
efe a ddywedodd, Paham y meddyliwch
ddrwg yn eich calonnau?
5 Canys pa un hawsaf ai dywedyd, Ma-
ddeuwyd i ti dy bechodau; ai dywedyd,
Cyfod, a rhodia?
6 Eithr fel y gwypoch fod awdurdod gan
Fab y dyn ar y ddaear i faddeu pechodau,
(yna y dywedodd efe wrth y claf o'r parlys)
Cyfod, cymmer dy wely i fynu, a dos i'th
dŷ.
7 Ac efe a gyfododd, ac a aeth ymaith
i'w dŷ ei hun.
8 A'r torfeydd pan welsant, rhyfeddu a
wnaethant, a gogoneddu Duw, yr hwn a
roisai gyfryw awdurdod i ddynion.
[b] Marc 2. 14. 9 ¶ [b] Ac fel yr oedd yr Iesu yn myned
Luc 5. 27. oddi yno, efe a ganfu wr yn eistedd wrth y
dollfa, a elwid Matthew, ac a ddywedodd
wrtho, Canlyn fi. Ac efe a gyfododd, ac a'i
canlynodd ef.
10 ¶ A bu, ac efe yn eistedd i fwytta yn y
tŷ, wele hefyd, publicanod lawer a phech-
aduriaid a ddaethant, ac a eisteddasant gyd
â'r Iesu a'i ddisgyblion.
11 A phan welodd y Phariseaid, hwy a
ddywedasant wrth ei ddisgyblion ef, Paham
y bwytty eich Athraw chwi gyd â'r publican-
od a'r pechaduriaid?
12 A phan glybu'r Iesu, efe a ddywedodd
wrthynt, Nid rhaid i'r rhai iach wrth fedd-
yg, ond i'r rhai cleifion.
13 Ond ewch, a dysgwch pa beth yw
[c] Hos. 6. 6. *hyn,* [c] Trugaredd yr ydwyf yn ei ewyllysio,
Michah 6. 6, 7, 8. ac nid aberth: canys ni ddaethum i alw
Pen. 12. 7. rhai cyfiawn, [d] ond pechaduriaid i edi-
[d] 1 Tim. 1. 15. feirwch.
14 ¶ Yna y daeth disgyblion Ioan atto,
[e] Marc 2. 18. gan ddywedyd, [e] Paham yr ydym ni a'r
Luc 5. 33. Phariseaid yn ymprydio yn fynych, ond dy
ddisgyblion di nid ydynt yn ymprydio?

15 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, A
all [f] plant yr ystafell briodas alaru tra fo'r [f] Ioan 3. 29.
priod-fab gyd â hwynt? ond y dyddiau a
ddaw, pan ddyger y priod-fab oddi arnynt,
ac yna yr ymprydiant.
16 *Hefyd,* ni ddyd neb lain o frethyn
newydd at hen ddilledyn: canys y cyf-
lawniad a dynn oddi wrth y dilledyn, a'r
rhwyg a wneir yn waeth.
17 Ac ni ddodant win newydd mewn
costrelau hen: os amgen, y costrelau a
dyr, a'r gwin a red allan, a'r costrelau a
gollir: eithr gwin newydd a ddodant mewn
costrelau newyddion, ac *felly* y cedwir y
ddau.
18 ¶ [g] Tra'r oedd efe yn dywedyd hyn [g] Marc 5. 22.
wrthynt, wele, daeth rhyw bennaeth, ac Luc 8. 41.
a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Bu farw
fy merch yr awr hon: eithr tyred a gosod
dy law arni, a byw fydd hi.
19 A'r Iesu a gyfododd, ac a'i canlynodd
ef, a'i ddisgyblion.
20 ¶ ([h] Ac wele, gwraig y buasai gwaed- [h] Marc 5. 25.
lif arni ddeuddeng mlynedd, a ddaeth o'r Luc 8. 43.
tu cefn *iddo,* ac a gyffyrddodd ag ymyl ei
wisg ef.
21 Canys hi a ddywedasai ynddi ei hun,
Os caf yn unig gyffwrdd â'i wisg ef, iach
fyddaf.
22 Yna'r Iesu a drodd; a phan ei gwel-
odd hi, efe a ddywedodd, *Ha* ferch, bydd
gysurus; [i] dy ffydd a'th iachaodd. A'r wraig [i] Luc 7. 50. a 8. 48.
a iachawyd o'r awr honno) a 17. 19. a
23 A phan ddaeth yr Iesu i dŷ'r pen- 18. 42.
naeth, a gweled [k] y cerddorion a'r dyrfa yn [k] Edrych
terfysgu, 2 Chron.
24 Efe a ddywedodd wrthynt, [l] Ciliwch: 35. 25.
canys ni bu farw'r llangces, ond cysgu y mae [l] Act. 20. 10.
hi. A hwy a'i gwatwarasant ef.
25 Ac wedi bwrw y dyrfa allan, efe a aeth
i mewn, ac a ymaflodd yn ei llaw hi; a'r
llangces a gyfododd.
26 A'r gair o hyn a aeth dros yr holl wlad
honno.
27 ¶ A phan oedd yr Iesu yn myned oddi
yno, dau ddeillion a'i canlynasant ef, gan
lefain a dywedyd, Mab Dafydd, trugarhâ
wrthym.
28 Ac wedi iddo ddyfod i'r tŷ, y deillion
a ddaethant atto: a'r Iesu a ddywedodd
wrthynt, A ydych chwi yn credu y gallaf fi
wneuthur hyn? Hwy a ddywedasant wrtho,
Ydym, Arglwydd.
29 Yna y cyffyrddodd efe â'u llygaid hwy,
gan ddywedyd, yn ol eich ffydd bydded i
chwi.
30 A'u llygaid a agorwyd: a'r Iesu a
orchymynodd iddynt trwy fygwth, gan
ddywedyd, [m] Gwelwch na's gwypo neb. [m] Pen. 8.
31 [n] Ond wedi iddynt ymado, hwy a'i 4. a 12. 16.
clodforasant ef trwy'r holl wlad honno. a 17. 9. Luc 5. 14.
32 ¶ [o] Ac a hwy yn myned allan, wele, [n] Marc 7.
rhai a ddygasant atto ddyn mud cyth- 36.
reulig. [o] Luc 11.
33 Ac wedi bwrw y cythraul allan, llefar- 14.
odd y mudan: a'r torfeydd a ryfeddasant, Edrych Pen. 12. 22.
gan ddywedyd, Ni welwyd y cyffelyb er- [p] Pen. 12.
ioed yn Israel. 24.
34 Ond y Phariseaid a ddywedasant, Marc 3. 22.
[p] Trwy bennaeth y cythreuliaid y mae efe Luc 11. 15.
yn bwrw allan gythreuliaid. [q] Marc 6. 6.
35 [q] A'r Iesu a aeth o amgylch yr holl Luc 13. 22.
ddinasoedd a'r trefydd, [r] gan ddysgu yn eu [r] Pen. 4.
synagogau hwynt, a chan bregethu efengyl 23.
y deyrnas, a iachâu pob clefyd, a phob
afiechyd ym mhlith y bobl.

36 ¶ A [s] phan welodd efe y torfeydd, efe a dosturiodd wrthynt, am eu bod wedi blino, a'u gwasgaru fel [t] defaid heb ganddynt fugail.

37 Yna y dywedodd efe wrth ei ddisgyblion, [u] Y cynhauaf yn ddiau *sydd* fawr, ond y gweithwŷr yn anaml.

38 [x] Am hynny attolygwch i Arglwydd y cynhauaf, anfon gweithwŷr i'w gynhauaf.

[s] Marc 6. 34. [t] Num. 27. 17. Zech. 10. 2. [u] Luc 10. 2. Ioan 4. 35. [x] 2 Thes. 3. 1.

## PEN. X.

*1 Crist yn anfon ei ddeuddeg apostol, gan roddi gallu iddynt i wneuthur rhyfeddodau: 5 yn rhoddi gorchymyn iddynt, ac yn eu dysgu, 16 ac yn eu cysuro yn erbyn erlidiau; 40 ac yn addaw bendith i'r rhai a'u derbynio hwynt.*

31.

AC [a] wedi galw ei ddeuddeg disgybl atto, efe a roddes iddynt awdurdod † *yn erbyn* ysprydion aflan, i'w bwrw hwynt allan, ac i iachâu pob clefyd a phob afiechyd.

2 Ac enwau'r deuddeg apostolion yw y rhai hyn: Y cyntaf, Simon, [b] yr hwn a elwir Petr, ac Andreas ei frawd; Iago *mab* Zebedëus, ac Ioan ei frawd;

3 Phylip, a Bartholomëus; Thomas, a Matthew y publican; Iago *mab* Alphëus, a Lebbëus, yr hwn a gyfenwid Thadëus;

4 Simon y Canaanead, a Judas Iscariot, yr hwn hefyd a'i bradychodd ef.

5 Y deuddeg hyn a anfonodd yr Iesu, ac a orchymynodd iddynt, gan ddywedyd, Nac ewch i ffordd y Cenhedloedd, ac i ddinas [c] y Samariaid nac ewch i mewn.

6 Eithr [d] ewch yn hytrach at gyfrgolledig ddefaid tŷ Israel.

7 [e] Ac wrth fyned, pregethwch, gan ddywedyd, Fod [f] teyrnas nefoedd yn nesâu.

8 Iachêwch y cleifion, glanhêwch y rhai gwahan-glwyfus, cyfodwch y meirw, bwriwch allan gythreuliaid: derbyniasoch [g] yn rhad, rhoddwch yn rhad.

9 [h] Na feddwch aur, nac arian, nac [i] efydd i'ch pyrsau;

10 Nac ysgrepan i'r daith, na dwy bais, nac esgidiau, na ffon: [k] canys teilwng i'r gweithiwr ei fwyd.

11 [l] Ac i ba ddinas bynnag neu dref yr eloch, ymofynwch pwy sydd deilwng ynddi; ac yno trigwch hyd onid eloch ymaith.

12 A phan ddeloch i dŷ, cyferchwch well iddo.

13 Ac os bydd y tŷ yn deilwng, deued eich tangnefedd arno: ac oni bydd yn deilwng, dychweled eich tangnefedd attoch.

14 [m] A phwy bynnag ni'ch derbynio chwi, ac ni wrandawo eich geiriau, pan ymadawoch o'r tŷ hwnnw, neu o'r ddinas honno, [n] ysgydwch y llwch oddi wrth eich traed

15 Yn wir meddaf i chwi, [o] Esmwythach fydd i dir y Sodomiaid a'r Gomorriaid yn nydd y farn, nag i'r ddinas honno.

16 ¶ Wele, [p] yr ydwyf fi yn eich danfon fel defaid ynghanol bleiddiaid: [q] byddwch chwithau gall fel y seirph, a diniweid fel y colommennod.

17 Eithr ymogelwch rhag dynion; canys [r] hwy a'ch rhoddant chwi i fynu i'r cynghor, ac [s] a'ch ffrewyllant chwi yn eu synagogau.

18 A [t] chwi a ddygir at lywiawdwŷr a brenhinoedd o'm hachos i, er tystiolaeth iddynt hwy ac i'r Cenhedloedd.

[a] Marc 3. 14. † ar. [b] Ioan 1. 42. [c] 2 Bren. 17. 24. Ioan 4. 9, 20. [d] Pen. 15. 24. Act. 13. 46. [e] Luc 9. 2. [f] Pen. 3. 2. a 4. 17. Luc 10. 9. [g] Act. 8. 18, 20. [h] 1 Sam. 9. 7. Marc 6. 8. Luc 9. 3. a 10. 4. a 22. 35. [l] Marc 6. 8. [k] Luc 10. 7. 1 Cor. 9. 7. 1 Tim. 5. 18. [l] Luc 10. 8. [m] Marc 6. 11. Luc 9. 5. a 10. 11. [n] Neh. 5. 13. Act. 13. 51. a 18. 6. [o] Pen. 11. 22, 24. [p] Luc 10. 3. [q] Rhuf. 16. 19 [r] Pen. 24. 9. Marc 13. 9. Luc 21. 12. [s] Act. 5. 40. [t] Act 12. 1. a 25. 23. 2 Tim. 4. 17.

19 [u] Eithr pan y'ch rhoddant chwi i fynu, na ofelwch pa fodd neu pa beth a lefaroch: canys [x] rhoddir i chwi yn yr awr honno pa beth a lefaroch.

20 Canys nid chwychwi yw'r rhai sy yn llefaru, ond yspryd eich Tad yr hwn sydd yn llefaru ynoch.

21 [y] A brawd a rydd frawd i fynu i farwolaeth, a thad ei blentyn: a phlant a godant i fynu yn erbyn eu rhïeni, ac a barant eu marwolaeth hwynt.

22 A [z] chas fyddwch gan bawb er mwyn fy enw i: ond [a] yr hwn a barhao hyd y diwedd, efe fydd cadwedig.

23 A [b] phan y'ch erlidiant yn y ddinas hon, ffowch i un arall: canys yn wir y dywedaf wrthych, Na orphenwch ddinasoedd Israel, nes dyfod Mab y dyn.

24 [c] Nid yw'r disgybl yn uwch nâ'i athraw, na'r gwas yn uwch nâ'i arglwydd.

25 Digon i'r disgybl fod fel ei athraw, a'r gwas fel ei arglwydd. Os [d] galwasant berchen y tŷ yn † Beelzebub, pa faint mwy ei dylwyth ef?

26 Am hynny nac ofnwch hwynt: oblegid [e] nid oes dim cuddiedig, a'r na's datguddir; na dirgel, a'r na's gwybyddir.

27 Yr hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd wrthych chwi yn y tywyllwch, dywedwch yn y goleuni: a'r hyn a glywch yn y glust, pregethwch ar bennau y tai.

28 [f] Ac nac ofnwch rhag y rhai a laddant y corph, ac nid allant ladd yr enaid; eithr yn hytrach ofnwch yr hwn a ddichon ddistrywio enaid a chorph yn uffern.

29 Oni werthir dau aderyn y to er ffyrling? ac ni syrth un o honynt ar y ddaear heb eich Tad chwi.

30 [g] Ac y mae, ïe, holl wallt eich pen wedi eu cyfrif.

31 Nac ofnwch gan hynny: chwi a dêlwch fwy nâ llawer o adar y to.

32 [h] Pwy bynnag gan hynny a'm cyffeso i yngŵydd dynion, [i] minnau a'i cyffesaf yntau yngŵydd fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd.

33 [k] A phwy bynnag a'm gwado i yngŵydd dynion, minnau a'i gwadaf yntau yngŵydd fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd.

34 [l] Na thybygwch fy nyfod i ddanfon tangnefedd ar y ddaear: ni ddaethum i ddanfon tangnefedd, ond cleddyf.

35 Canys mi a ddaethum i osod dyn i amrafaelio [m] yn erbyn ei dad, a'r ferch yn erbyn ei mam, a'r waudd yn erbyn ei chwegr.

36 A [n] gelynion dyn *fydd* tylwyth ei dŷ ei hun.

37 [o] Yr hwn sydd yn caru tad neu fam yn fwy nâ myfi, nid yw deilwng o honof fi: a'r neb sydd yn caru mab neu ferch yn fwy nâ myfi, nid yw deilwng o honof fi.

38 [p] A'r hwn nid yw yn cymmeryd ei groes, ac yn canlyn ar fy ol i, nid yw deilwng o honof fi.

39 [q] Y neb sydd yn cael ei einioes, a'i cyll: a'r neb a gollo ei einioes o'm plegid i, a'i caiff hi.

40 ¶ [r] Y neb sydd yn eich derbyn chwi, sydd yn fy nerbyn i; a'r neb sydd yn fy nerbyn i, sydd yn derbyn yr hwn a'm danfonodd i.

[u] Marc 13. 11. [x] Exod. 4. 12. [y] Michah 7. 6. Luc 21. 16. [z] Luc 21. 17. [a] Pen. 24. 13. Marc 13. 13. [b] Pen. 2. 13. a 4. 12. a 12. 15. Act. 8. 1. a 9. 25. a 14. 6. [c] Luc 6. 40. Ioan 13. 16. a 15. 20. [d] Pen. 12. 24. Marc 3. 22. Luc 11. 15. Ioan 8. 48. † Gr. *Beelzebul.* [e] Marc 4. 22. Luc 8. 17. a 12. 2. [f] Luc 12. 4. [g] 1 Sam. 14. 45. 2 Sam. 14. 11. Luc 21. 18 Act. 27. 34 [h] Luc 12. 8. Rhuf. 10. 9, 10. [i] Dat. 3. 5. [k] Marc 8. 38. Luc 9. 26. 2 Tim. 2. 12. [l] Luc 12. 49, 51. [m] Michah 7. 6. [n] Psal. 41. 9. a 55. 13. Michah 7. 6. Ioan 13. 18. [o] Luc 14. 26. [p] Pen. 16. 24. Marc 8. 34. Luc 9. 23. a 14. 27. [q] Luc 17. 33. Ioan 12. 25. [r] Pen. 18. 5. Luc 10. 16. Ioan 13. 20. Gal. 4. 14.

s 1 Bren. 41 [s] Y neb sydd yn derbyn prophwyd yn
17. 10. enw prophwyd, a dderbyn wobr prophwyd;
a 18. 4. a'r neb sydd yn derbyn *un* cyfiawn yn
2 Bren. 4. enw *un* cyfiawn, a dderbyn wobr *un* cy-
8. fiawn.
t Pen. 18. 42 [t] A phwy bynnag a roddo i'w yfed
5. 6. a 25. i un o'r rhai bychain hyn, phïolaid o *ddufr*
40. oer yn unig yn enw disgybl, yn wir meddaf
Marc 9. 41. i chwi, Ni chyll efe ei wobr.
Heb. 6. 10.

## PEN. XI.

*2 Ioan yn anfon ei ddisgyblion at Grist. 7 Tystiolaeth Crist am Ioan. 18 Tyb y bobl am Ioan, a Christ. 20 Crist yn dannod anniolchgarwch a diedifeirwch Chorazin, Bethsaida, a Chapernaum: 25 a chan foliannu doethineb ei Dad, yn egluro 'r efengyl i'r rhai gwirion; 28 yn galw atto y rhai sydd yn clywed baich eu pechodau.*

31. A Bu, pan orphenodd yr Iesu orchymyn
i'w ddeuddeg disgybl, efe a aeth oddi
yno i ddysgu ac i bregethu yn eu dinasoedd
hwy.
a Luc 7. 2 [a] A Ioan pan glybu yn y carchar weith-
18. redoedd Crist, wedi danfon dau o'i ddisgyb-
lion,
3 A ddywedodd wrtho, Ai tydi yw 'r hwn
sy yn dyfod, ai un arall yr ydym yn ei
ddisgwyl?
4 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, Ewch a mynegwch i Ioan y pethau
a glywch ac a welwch:
b Esay 29. 5 [b] Y mae 'r deillion yn gweled eilwaith,
18. a 35. 5, a'r cloffion yn rhodio, a'r cleifion gwahanol
6. wedi eu glanhâu, a'r byddariaid yn clywed;
c Esay 61. y mae 'r meirw yn cyfodi, a'r [c] tlodion yn
1. cael pregethu 'r efengyl iddynt.
Luc 4. 18. 6 A dedwydd yw 'r *hwn* ni [d] rwystrir
d 1 Cor. 1. ynof fi.
23.
Gal. 5. 11. 7 ¶ [e] Ac a hwy yn myned ymaith, yr
e Luc 7. 24. Iesu a ddechreuodd ddywedyd wrth y bob-
loedd am Ioan, Pa beth yr aethoch allan i'r
anialwch i edrych am dano? ai corsen yn
ysgwyd gan wynt?
8 Eithr pa beth yr aethoch allan i'w we-
led? ai dyn wedi ei wisgo â dillad esmwyth?
wele, y rhai sy'n gwisgo *dillad* esmwyth,
mewn tai brenhinoedd y maent.
9 Eithr pa beth yr aethoch allan i'w
weled? ai prophwyd? ïe, meddaf i chwi, a
mwy nâ phrophwyd.
10 Canys hwn ydyw *efe* am yr hwn yr
f Mal. 3. ysgrifenwyd, [f] Wele, yr ydwyf fi yn anfon
1. fy nghennad o flaen dy wyneb, yr hwn a
Marc 1. 2. barottoa dy ffordd o'th flaen.
Luc 7. 27.
11 Yn wir meddaf i chwi, Ym mhlith
plant gwragedd, ni chododd neb mwy nag
Ioan Fedyddiwr: er hynny yr hwn sydd
leiaf yn nheyrnas nefoedd, sydd fwy nag
ef.
g Luc 16. 12 [g] Ac o ddyddiau Ioan Fedyddiwr hyd
16. yn awr, yr ydys yn treisio teyrnas nefoedd,
a threiswŷr sy 'n ei chipio hi.
13 Canys yr holl brophwydi a'r gyfraith a
brophwydasant hyd Ioan.
h Mal. 4. 14 Ac os ewyllysiwch *ei* dderbyn, efe yw
5. [h] Elïas yr hwn oedd ar ddyfod.
Pen. 17. 15 [i] Y neb sydd ganddo glustiau i wrando,
13. gwrandawed.
Luc 1. 17.
i Pen. 13. 16 ¶ [k] Eithr i ba beth y cyffelybaf fi 'r
9. genhedlaeth hon? Cyffelyb yw i blant yn
Luc 8. 8. eistedd yn y marchnadoedd, ac yn llefain
Dat. 2. 7, wrth eu cyfeillion,
11, 17. 29. 17 Ac yn dywedyd, Canasom bibell i
a 3. 6, 13, chwi, ac ni ddawnsiasoch; canasom alarnad
22. i chwi, ac ni chwynfanasoch.
k Luc 7.
31.

18 Canys daeth Ioan heb na bwytta
nac yfed; ac meddant, Y mae cythraul
ganddo.
19 Daeth Mab y dyn yn bwytta ac yn
yfed; ac meddant, Wele ddyn glwth, ac
yfwr gwin, cyfaill publicanod a phechaduri-
aid. A doethineb a gyfiawnhawyd gan ei
phlant ei hun.
20 ¶ [l] Yna y dechreuodd efe edliw i'r l Luc 10.
dinasoedd yn y rhai y gwnaethid y rhan 13.
fwyaf o'i weithredoedd nerthol ef, am nad
edifarhasent.
21 Gwae di, Chorazin; gwae di, Bethsaida:
canys pe gwnaethid yn Tyrus a Sidon y
gweithredoedd nerthol a wnaethpwyd
ynoch chwi, hwy a edifarhasent er ys talm
mewn sachlïain a lludw.
22 Eithr meddaf i chwi, [m] Esmwythach m Pen. 10.
fydd i Tyrus a Sidon, yn nydd y farn, nag i 15.
chwi.
23 A thydi, Capernaum, yr hon a ddyrch-
afwyd hyd y nef, a dynnir i lawr hyd yn
uffern: canys pe gwnaethid yn Sodom y
gweithredoedd nerthol a wnaethpwyd ynot
ti, hi a fuasai yn aros hyd heddyw.
24 Eithr yr ydwyf yn dywedyd i chwi, Y
bydd esmwythach i dir Sodom, yn nydd y
farn, nag i ti.
25 ¶ [n] Yr amser hwnnw yr attebodd yr n Luc 10.
Iesu ac y dywedodd, I ti yr ydwyf yn 21.
dïolch, O Dad, Arglwydd nef a daear, am
i ti [o] guddio y pethau hyn rhag y doethion o 1 Cor. 1.
a'r rhai deallus, a'u datguddio o honot i rai 27. a 2. 8.
bychain. Edrych Psal. 8. 2.
26 Ië, O Dad; canys felly y rhyngodd
bodd i ti.
27 [p] Pob peth a roddwyd i mi gan fy p Pen. 28.
Nhad: ac nid edwyn neb y Mab ond y 18.
Tad; [q] ac nid edwyn neb y Tad ond y Mab, Ioan 3. 35.
a'r *hwn* yr ewyllysio 'r Mab *ei* ddatguddio a 13. 3. a 17. 2.
iddo. q Ioan 1.
28 ¶ Deuwch attaf fi bawb a'r y sydd yn 18. a 6.
flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf 46. a 10.
arnoch. 15.
29 Cymmerwch fy iau arnoch, a dysgwch
gennyf; canys addfwyn ydwyf a [r] gostynge- r Zech. 9. 9.
dig o galon: [s] a chwi a gewch orphwysdra Phil. 2. 7, 8.
i'ch eneidiau. s Jer. 6.
30 [t] Canys fy iau *sydd* esmwyth, a'm 16.
baich sydd ysgafn. t 1 Ioan 5.
3.

## PEN. XII.

*1 Crist yn ceryddu dallineb y Phariseaid, o ran torri 'r sabbath; 3 trwy ysgrythyrau, 10 trwy reswm, 13 a thrwy ryfeddod: 22 yn iachâu 'r dyn cythreulig, mud, a dall. 31 Ni faddeuir byth gabledd yn erbyn yr Yspryd Glân. 36 Y rhoddir cyfrif am eiriau segur. 38 Y mae yn ceryddu yr anffyddloniaid a geisient arwydd; 49 ac yn dangos pwy yw ei frawd, a'i chwaer, a'i fam.*

YR amser hwnnw [a] yr aeth yr Iesu ar y 31.
*dydd* sabbath trwy 'r ŷd: ac yr oedd a Deut. 23. 25.
chwant bwyd ar ei ddisgyblion, a hwy a Marc 2. 23.
ddechreuasant dynnu tywys, a bwytta. Luc 6. 1.
2 A phan welodd y Phariseaid, hwy a † *gyfreith-*
ddywedasant wrtho, Wele, y mae dy ddis- *lawn.*
gyblion yn gwneuthur yr hyn nid yw † rydd b 1 Sam.
ei wneuthur ar y sabbath. 21. 6.
3 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Oni ‡ *torthau*
ddarllenasoch [b] pa beth a wnaeth Dafydd, *dangos, y*
pan oedd chwant bwyd arno ef, a'r rhai *rhai nid oedd gy-*
*oedd* gyd ag ef? *freith-lawn.*
4 Pa fodd yr aeth efe i mewn i dŷ Dduw, c Exod. 25.
ac y bwyttaodd ‡ [c] y bara gosod, yr hwn 30. Lef. 24. 6.

nid oedd rydd iddo ei fwytta, nac i'r rhai oedd gyd ag ef, [d] ond yn unig i'r offeiriaid?

5 Neu oni ddarllenasoch yn y [e] gyfraith, fod yr offeiriaid ar y sabbathau yn y deml yn halogi'r sabbath, a'u bod yn ddigerydd?

6 Eithr yr ydwyf yn dywedyd i chwi, fod yma [f] *un* mwy nâ'r deml.

7 Ond pe gwybasech beth yw *hyn*, [g] Trugaredd a ewyllysiaf, ac nid aberth, ni farnasech chwi yn erbyn y rhai diniweid.

8 Canys Arglwydd ar y sabbath hefyd yw Mab y dyn.

9 [h] Ac wedi iddo ymadael oddi yno, efe a aeth i'w synagog hwynt.

10 ¶ Ac wele, yr oedd dyn a chanddo law wedi gwywo. A hwy a ofynasant iddo, gan ddywedyd, [i] Ai * rhydd iachâu ar y sabbathau? fel y gallent achwyn arno.

11 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ddyn o honoch fydd a chanddo un ddafad, ac [k] o syrth honno mewn pwll ar y *dydd* sabbath, nid ymeifl ynddi, a'i chodi allan?

12 Pa faint gwell gan hynny ydyw dyn nâ dafad? Felly ‡ rhydd yw gwneuthur yn dda ar y sabbathau.

13 Yna y dywedodd efe wrth y dyn, Estyn dy law. Ac efe a'i hestynodd; a *hi* a wnaed yn iach, fel y llall.

14 ¶ Yna'r aeth [l] y Phariseaid allan, ac a § ymgynghorasant yn ei erbyn ef, pa fodd y difethent ef.

15 A'r Iesu gan wybod, [m] a giliodd oddi yno: [n] a thorfeydd lawer a'i canlynasant ef, ac efe a'u hiachaodd hwynt oll;

16 Ac [o] a orchymynodd iddynt, na ‖ wnaent ef yn gyhoedd:

17 Fel y cyflawnid yr hyn a ddywedasid trwy Esaias y prophwyd, gan ddywedyd,

18 [p] Wele fy ngwasanaethwr, yr hwn a ddewisais; fy anwylyd, [q] yn yr hwn y mae fy enaid yn foddlon: gosodaf fy yspryd arno, ac efe a draetha farn i'r Cenhedloedd.

19 Nid ymryson efe, ac ni lefain; ac ni chlyw neb ei lais ef yn yr heolydd.

20 Corsen ysig ni's tyr, a llin yn mygu ni's diffydd, hyd oni ddygo efe allan farn i fuddugoliaeth.

21 Ac yn ei enw ef y gobeithia'r Cenhedloedd.

22 ¶ [r] Yna y dygpwyd atto un cythreulig, dall a mud: ac efe a'i hiachaodd ef, fel y llefarodd ac y gwelodd y dall a mud.

23 A'r holl dorfeydd a synnasant, ac a ddywedasant, Ai hwn yw mab Dafydd?

24 [s] Eithr pan glybu'r Phariseaid, hwy a ddywedasant, Nid yw hwn yn bwrw allan gythreuliaid, ond trwy † Beelzebub pennaeth y cythreuliaid.

25 A'r Iesu yn gwybod eu meddyliau, a ddywedodd wrthynt, Pob teyrnas wedi ymrannu yn ei herbyn ei hun, a anghyfanneddir; a phob dinas neu dŷ wedi ymrannu yn ei erbyn ei hun, ni saif.

26 Ac os Satan a fwrw allan Satan, efe a ymrannodd yn ei erbyn ei hun: pa wedd gan hynny y saif ei deyrnas ef?

27 Ac os trwy Beelzebub yr ydwyf fi yn bwrw allan gythreuliaid, trwy bwy y mae eich plant chwi yn *eu* bwrw *hwynt* allan? am hynny y byddant hwy yn farnwŷr arnoch chwi.

[d] Exod. 29. 32, 33. Lef. 8. 31. a 24. 9.
[e] Num. 28. 9. Ioan 7. 22.
[f] 2 Chron. 6. 18.
[g] Hos. 6. 6. Pen. 9. 13.
[h] Marc 3. 1. Luc 6. 6.
[i] Luc 13. 14. a 14. 3. Ioan 9. 16.
* cyfreithlawn.
[k] Exod. 23. 4, 5. Deut. 22. 4.
‡ cyfreithlawn.
[l] Marc 3. 6. Ioan 5. 18. a 11. 39. a 11. 53.
§ Neu, gymmerasant cynghor.
[m] Edrych Pen. 10. 23.
[n] Pen. 19. 2.
[o] Pen. 9. 30.
‖ chyhoeddent ef.
[p] Esay 42. 1.
[q] Pen. 3. 17. a 17. 5.
[r] Marc 3. 22. Luc 11. 14. Pen. 9. 32.
[s] Pen. 9. 34. Marc 3. 22. Luc 11. 15.
† Gr. Beelzebul: felly adn. 27.

28 Eithr os ydwyf fi yn bwrw allan gythreuliaid trwy Yspryd Duw, yna y daeth teyrnas Dduw attoch.

29 Neu, [t] pa fodd y dichon neb fyned i mewn i dŷ un cadarn, a *llwyr*-yspeilio ei ddodrefn ef, oddi eithr iddo yn gyntaf rwymo'r cadarn? ac yna yr yspeilia efe ei dŷ ef.

30 Y neb nid yw gyd â mi, sydd yn fy erbyn; a'r neb nid yw yn casglu gyd â mi, sydd yn gwasgaru.

31 ¶ Am hynny y dywedaf wrthych chwi, [u] Pob pechod a chabledd a faddeuir i ddynion: ond cabledd *yn erbyn* yr Yspryd *Glân* ni faddeuir i ddynion.

32 A phwy bynnag a ddywedo air yn erbyn Mab y dyn, [x] fe a faddeuir iddo: ond pwy bynnag a ddywedo yn erbyn yr Yspryd Glân, ni's maddeuir iddo, nac yn y byd hwn, nac yn *y byd* a ddaw.

33 Naill ai gwnewch y pren yn dda, [y] a'i ffrwyth yn dda; ai gwnewch y pren yn ddrwg, a'i ffrwyth yn ddrwg: canys y pren a adwaenir wrth ei ffrwyth.

34 [z] Oh eppil gwiberod, pa wedd y gellwch lefaru pethau da, a chwi yn ddrwg? [a] canys o helaethrwydd y galon y llefara'r genau.

35 Y dyn da, o drysor da y galon, a ddwg allan bethau da: a'r dyn drwg, o'r trysor drwg, a ddwg allan bethau drwg

36 Eithr yr ydwyf yn dywedyd wrthych, Mai am bob gair segur a ddywedo dynion, y rhoddant hwy gyfrif yn nydd y farn.

37 Canys wrth dy eiriau y'th gyfiawnhêir, ac wrth dy eiriau y'th gondemnir.

38 ¶ [b] Yna'r attebodd rhai o'r ysgrifenyddion a'r Phariseaid, gan ddywedyd, Athraw, ni a chwennychem weled arwydd gennyt.

39 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Cenhedlaeth ddrwg a [c] godinebus sydd yn ceisio arwydd; ac arwydd ni's rhoddir iddi, ond arwydd y prophwyd Jonas.

40 [d] Canys fel y bu Jonas dridiau a thair nos ym mol y morfil, felly y bydd Mab y dyn dridiau a thair nos ynghalon y ddaear.

41 [e] Gwŷr Ninefe a gyfodant yn y farn gyd â'r genhedlaeth hon, ac a'i [f] condemniant hi; am iddynt hwy [g] edifarhâu wrth bregeth Jonas: ac wele fwy nâ Jonas yma.

42 [h] Brenhines y dehau a gyfyd yn y farn gyd â'r genhedlaeth hon, ac a'i condemnia hi; am iddi hi ddyfod o eithafoedd y ddaear i glywed doethineb Salomon: ac wele fwy nâ Salomon yma.

43 [i] A phan êl yr yspryd aflan allan o ddyn, [k] efe a rodia ar hyd lleoedd sychion, gan geisio gorphwysdra, ac nid *yw* yn ei gael.

44 Yna medd efe, Mi a ddychwelaf i'm tŷ o'r lle y daethum allan. Ac wedi y delo, y mae yn *ei* gael yn wag, wedi *ei* ysgubo, a'i drwsio.

45 Yna y mae efe yn myned, ac yn cymmeryd gyd ag ef ei hun saith yspryd eraill gwaeth nag ef ei hun; ac wedi iddynt fyned i mewn, hwy a gyfanneddant yno: [l] ac y mae diwedd y dyn hwnnw yn waeth nâ'i ddechreuad. Felly y bydd hefyd i'r genhedlaeth ddrwg hon.

46 ¶ Tra'r ydoedd efe yn llefaru wrth y torfeydd, [m] wele, *ei* fam a'i [n] frodyr oedd yn sefyll allan, yn ceisio ymddiddan ag ef.

[t] Esay 49. 24. Luc 11. 22.
[u] Marc 3. 28. Luc 12. 10. Heb. 6. 4. a 10. 26, 29. 1 Ioan 5. 16.
[x] 1 Tim. 1. 13.
[y] Pen. 7. 17. Luc 6. 43, 44.
[z] Pen. 3. 7. a 23. 33.
[a] Luc 6. 45.
[b] Pen. 16. 1. Marc 8. 11. Luc 11. 16, 29. 1 Cor. 1. 22.
[c] Esay 57. 3.
[d] Ionah 1. 17.
[e] Luc 11. 32.
[f] Jer. 3. 11. Ezec. 16. 51. Rhuf. 2. 27.
[g] Ioan 3. 5.
[h] 1 Bren. 10. 1. 2 Chron. 9. 1. Luc 11. 31.
[i] Luc 11. 24.
[k] Job 1. 7. 1 Petr 5. 8.
[l] Heb. 6. 4. a 10. 26. 2 Petr 2. 20.
[m] Marc 3. 31. Luc 8. 19, 20.
[n] Pen. 13. 55. Marc 6. 3. Ioan 2. 12. a 7. 3. Act. 1. 14. 1 Cor. 9. 5 Gal. 1. 19.

47 A dywedodd un wrtho, Wele, y mae
dy fam di a'th frodyr yn sefyll allan, yn cei-
sio ymddiddan â thi.
48 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd
wrth yr hwn a ddywedasai wrtho, Pwy yw
fy mam i? a phwy yw fy mrodyr i?
49 Ac efe a estynodd ei law tu ag at ei
ddisgyblion, ac a ddywedodd, Wele fy mam
o Edrych i, a'm brodyr i.
Ioan 15. 14. 50 Canys [o] pwy bynnag a wna ewyllys fy
Gal. 5. 6. a 6. 15. Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd, efe yw fy
Col. 3. 11. mrawd i, a'm chwaer, a'm mam.

PEN. XIII.

*3 Dammeg yr hauwr a'r had; 18 a'i deon-
gliad. 24 Dammeg yr efrau, 31 yr had
mwstard, 33 y surdoes, 44 y trysor cud-
diedig, 45 y perl, 47 a'r rhwyd. 53 Y
modd y dirmygir Crist gan ei wladwŷr ei
hun.*

31. Y Dydd hwnnw yr aeth yr Iesu allan o'r
a Marc 4. 1. tŷ, [a] ac yr eisteddodd wrth *lan* y môr.
2 A thorfeydd lawer a ymgynnullasant
b Luc 5. 3. atto ef, fel [b] yr aeth efe † i'r llong, ac yr
† *i long.* eisteddodd: a'r holl dyrfa a safodd ar y lan.
3 Ac efe a lefarodd wrthynt lawer o be-
thau trwy ddamhegion, gan ddywedyd,
c Luc 8. 5. [c] Wele, yr hauwr a aeth allan i hau.
4 Ac fel yr oedd efe yn hau, peth a syrth-
iodd ar *fin* y ffordd; a'r adar a ddaethant ac
a'i difasant.
5 Peth arall a syrthiodd ar greig-leoedd,
lle ni chawsant fawr ddaear: ac yn y man
yr eginasant, gan nad oedd iddynt ddyfnder
daear:
6 Ac wedi codi'r haul, y poethasant, ac
am nad oedd ganddynt wreiddyn, hwy a
wywasant.
7 A pheth arall a syrthiodd ym mhlith
y drain; a'r drain a godasant, ac a'u tagasant
hwy.
8 Peth arall hefyd a syrthiodd mewn tir
da, ac a ddygasant ffrwyth, peth ar ei gan-
fed, arall ar ei dri-ugeinfed, arall ar ei ddeg-
fed ar hugain.
d Pen. 11. 15. 9 [d] Y neb sydd ganddo glustiau i wrando,
gwrandawed.
10 A daeth y disgyblion, ac a ddywed-
asant wrtho, Pa ham yr wyt ti yn llefaru
wrthynt trwy ddamhegion?
11 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd
e Pen. 16. 17. wrthynt, Am [e] roddi i chwi wybod dirge-
Marc 4. 11. lion teyrnas nefoedd, ac ni roddwyd iddynt
1 Cor. 2. 10. hwy.
1 Ioan 2. 27. 12 [f] Oblegid pwy bynnag sydd ganddo, i
hwnnw y rhoddir, ac efe a gaiff helaeth-
f Pen. 25. 29. rwydd: eithr pwy bynnag, nid oes gan-
ddo, oddi arno ef y dygir, ie, yr hyn sydd
Marc 4. 25. ganddo.
Luc 8. 18. a 19. 26. 13 Am hynny yr ydwyf yn llefaru wrth-
ynt hwy ar ddamhegion: canys a hwy yn
gweled, nid ydynt yn gweled; ac yn clywed,
nid ydynt yn clywed, nac yn deall.
g Esay 6. 9. 14 Ac ynddynt hwy y cyflawnir pro-
Ezec. 12. 2. phwydoliaeth Esaias, yr hon sydd yn dy-
Marc 4. 12. wedyd, [g] Gan glywed y clywch, ac ni
Luc 8. 10. ddeallwch; ac yn gweled y gwelwch, ac ni
Ioan 12. 40. chanfyddwch.
Act. 28. 26. 15 Canys brasawyd calon y bobl hyn, a
Rhuf. 11. 8. hwy a glywsant â'*u* [h] clustiau yn drwm, ac
h Heb. 5. 11. a gauasant eu llygaid; rhag canfod â'*u* lly-
gaid, a chlywed â'*u* clustiau, a deall â'r ga-
i Pen. 16. 17. lon, a throi, ac i mi eu hiachâu hwynt.
Luc 10. 23, 24. 16 Eithr [i] dedwydd *yw* eich llygaid chwi,
am eu bod yn gweled; a'ch clustiau, am eu
Ioan 20. 29. bod yn clywed.

17 Oblegid yn wir y dywedaf i chwi,
[k] chwennychu o lawer o brophwydi a rhai k 1 Petr 1. 10.
cyfiawn weled *y pethau* a welwch chwi, ac
ni's gwelsant; a chlywed *yr hyn* a glywch
chwi, ac ni's clywsant.
18 ¶ [l] Gwrandêwch chwithau gan hynny l Marc 4. 14.
ddammeg yr hauwr. Luc 8. 11.
19 Pan glywo neb air [m] y deyrnas, ac heb m Pen. 4. 23.
*ei* ddeall, y mae y drwg yn dyfod, ac yn
cipio'r hyn a hauwyd yn ei galon ef. Dyma
yr hwn a hauwyd ar *fin* y ffordd.
20 A'r hwn a hauwyd ar y creig-leoedd,
yw'r hwn sydd yn gwrando'r gair, ac
yn ebrwydd [n] trwy lawenydd yn ei dder- n Esay 58. 2.
byn; Ioan 5. 35.
21 Ond nid oes ganddo wreiddyn ynddo
ei hun, eithr dros amser y mae: a phan
ddelo gorthrymder neu erlid oblegid y gair,
yn y fan [o] efe a rwystrir. o Pen. 11. 6.
22 [p] A'r hwn a hauwyd [q] ym mhlith y
drain, yw'r hwn sydd yn gwrando'r gair; p Pen. 19. 23.
ac y mae gofal y byd hwn, a thwyll cyfoeth Marc 10. 23.
yn tagu'r gair, ac y mae yn myned yn ddi-
ffrwyth. Luc 18. 24.
23 Ond yr hwn a hauwyd yn y tir da, 1 Tim. 6. 9.
yw'r hwn sydd yn gwrando'r gair, ac yn *ei* q Jer. 4. 3.
ddeall; *sef* yr hwn sydd yn ffrwytho, ac yn
dwyn peth ei ganfed, arall ei dri-ugeinfed,
arall ei ddegfed ar hugain.
24 ¶ Dammeg arall a osododd efe iddynt,
gan ddywedyd, Teyrnas nefoedd sydd gy-
ffelyb i ddyn a hauodd had da yn ei faes:
25 A thra yr oedd y dynion yn cysgu,
daeth ei elyn ef ac a hauodd efrau ym
mhlith y gwenith, ac a aeth ymaith.
26 Ac wedi i'r eginyn dyfu, a dwyn
ffrwyth, yna'r ymddangosodd yr efrau
hefyd.
27 A gweision gwr y tŷ a ddaethant,
ac a ddywedasant wrtho, Arglwydd, oni
hauaist ti had da yn dy faes? o ba le gan
hynny y mae'r efrau ynddo?
28 Yntau a ddywedodd wrthynt, Y gelyn
*ddyn* a wnaeth hyn. A'r gweision a ddy-
wedasant wrtho, A fynni di gan hynny i ni
fyned a'u casglu hwynt?
29 Ac efe a ddywedodd, Na fynnaf; rhag
i chwi, wrth gasglu'r efrau, ddiwreiddio'r
gwenith gyd â hwynt.
30 Gadêwch i'r ddau gyd-dyfu hyd y
cynhauaf: ac yn amser y cynhauaf y dywe-
daf wrth y medelwŷr, Cesglwch yn gyntaf
yr efrau, a rhwymwch hwynt yn ysgubau
i'w *llwyr*-losgi; ond [r] cesglwch y gwenith r Pen. 3. 12.
i'm hysgubor.
31 ¶ Dammeg arall a osododd efe idd-
ynt, gan ddywedyd, [s] Cyffelyb yw teyrnas s Marc 4. 30.
nefoedd i ronyn o had mwstard, yr hwn Luc 13. 19.
a gymmerodd dyn ac a'i hauodd yn ei
faes.
32 Yr hwn yn wir sydd leiaf o'r holl ha-
dau; ond wedi iddo dyfu, mwyaf un o'r
llysiau ydyw, ac y mae efe yn myned yn
bren; fel y mae adar y nef yn dyfod, ac yn
nythu yn ei gangau ef.
33 ¶ [t] Dammeg arall a lefarodd efe t Luc 13. 20.
wrthynt, Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i
surdoes, yr hwn a gymmerodd gwraig ac a'i
cuddiodd mewn tri pheccaid o flawd, hyd
oni surodd y cwbl.
34 [u] Hyn oll a lefarodd yr Iesu trwy u Marc 4. 33, 34.
ddamhegion wrth y torfeydd; ac heb ddam-
meg ni lefarodd efe wrthynt:
35 Fel y cyflawnid yr hyn a ddywed-
wyd trwy'r prophwyd, gan ddywedyd, x Psal. 78. 2.
[x] Agoraf fy ngenau mewn damhegion; my-

negaf bethau cuddiedig er pan seiliwyd y byd.

36 ¶ Yna yr anfonodd yr Iesu y torfeydd ymaith, ac yr aeth i'r tŷ: a'i ddisgyblion a ddaethant atto, gan ddywedyd, Eglura i ni ddammeg efrau'r maes.

37 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Yr hwn sydd yn hau'r had da, yw Mab y dyn;

38 A'r maes yw'r byd; a'r had da, hwynt-hwy yw plant y deyrnas; a'r efrau, yw [y] plant y drwg;

39 A'r gelyn yr hwn a'u hauodd hwynt, yw diafol; [z] a'r cynhauaf yw diwedd y byd; a'r medelwŷr yw'r angylion.

[y Gen. 3. 15. Ioan 8. 44. Act. 13. 10. 1 Ioan 3. 8.]

40 Megis gan hynny y cynhullir yr efrau, ac a'u llwyr-losgir yn tân; felly y bydd yn niwedd y byd hwn.

[z Joel 3. 13. Dat. 14. 15.]

41 † Mab y dyn a ddenfyn ei angylion, a hwy a gynhullant allan o'i deyrnas ef yr holl dramgwyddiadau, a'r rhai a wnant anwiredd;

[† Pen. 24. 31.]

42 Ac a'u bwriant hwy i'r ffwrn dân: [a] yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd.

[a Pen. 8. 12.]

43 [b] Yna y llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul, yn nheyrnas eu Tad. [c] Yr hwn sydd ganddo glustiau i wrando, gwrandawed.

[b Dan. 12. 3. Doeth. 3. 7. 1 Cor. 15. 42. c Adn. 9.]

44 ¶ Drachefn, cyffelyb yw teyrnas nefoedd i drysor wedi ei guddio mewn maes; yr hwn wedi i ddyn ei gaffael, a'i cuddiodd, ac o lawenydd am dano, sydd yn myned ymaith, [d] ac yn gwerthu yr hyn oll a fedd, ac [e] yn prynu'r maes hwnnw.

[d Phil. 3. 7, 8. e Esay 55. 1. Dat. 3. 18.]

45 ¶ Drachefn, cyffelyb yw teyrnas nefoedd i farchnattawr, yn ceisio perlau teg:

46 Yr hwn wedi iddo gaffael un perl gwerthfawr, a aeth *ac* a werthodd gymmaint oll ag a feddai, ac a'i prynodd ef.

47 ¶ Drachefn, cyffelyb yw teyrnas nefoedd i rwyd a fwriwyd yn y môr, ac [f] a gasglodd o bob rhyw beth:

[f Pen. 22. 10.]

48 Yr hon, wedi ei llenwi, a ddygasant i'r lan, ac a eisteddasant, ac a gasglasant y rhai da mewn llestri, ac a fwriasant allan y rhai drwg.

49 Felly y bydd yn niwedd y byd: yr angylion a ant allan, ac [g] a ddidolant y rhai drwg o blith y rhai cyfiawn;

[g Pen. 25. 32.]

50 Ac a'u bwriant hwy i'r ffwrn dân: [h] yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd.

[h Adn. 42.]

51 Iesu a ddywedodd wrthynt, A ddarfu i chwi ddeall hyn oll? Hwythau a ddywedasant wrtho, Do, Arglwydd.

52 A dywedodd yntau wrthynt, Am hynny pob ysgrifenydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd, sydd debyg i ddyn o berchen tŷ, yr hwn sydd yn dwyn allan o'i drysor, [i] *bethau* newydd a hen.

[i Can. 7. 13.]

53 ¶ A bu, wedi i'r Iesu orphen y dammegion hyn, efe a ymadawodd oddi yno.

54 [k] Ac efe a ddaeth i'w wlad ei hun, ac a'u dysgodd hwynt yn eu synagog; fel y synnodd arnynt, ac y dywedasant, O ba le y daeth y doethineb hyn a'r gweithredoedd nerthol i'r *dyn* hwn?

[k Pen. 2. 23. Marc 6. 1. Luc 4. 16, 23.]

55 [l] Onid hwn yw mab y saer? onid Mair y gelwir ei fam ef? a Iago, a Joses, a Simon, a Judas, [m] ei frodyr ef?

[l Marc 6. 3. Ioan 6. 42. m Pen. 12. 46.]

56 Ac onid yw ei chwïorydd ef oll gyd â ni? o ba le gan hynny y mae gan hwn y pethau hyn oll?

57 A hwy [n] a rwystrwyd ynddo ef. A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, [o] Nid yw prophwyd heb anrhydedd, ond yn ei wlad ei hun, ac yn ei dŷ ei hun.

[n Pen. 11. 6. o Marc 6. 4. Luc 4. 24. Ioan 4. 44.]

58 Ac [p] ni wnaeth efe nemmawr o weithredoedd nerthol yno, oblegid eu hanghrediniaeth hwynt.

[p Marc 6. 5, 6.]

## PEN. XIV.

1 *Tyb Herod am Grist.* 3 *Carchar Ioan, a'i ddihenydd.* 13 *Yr Iesu yn ymado i le anial;* 15 *lle y mae efe yn porthi pum mil o bobl â phum torth, ac â dau bysgodyn:* 22 *yn rhodio ar y môr at ei ddisgyblion;* 34 *ac wedi tirio yn Gennesaret, yn iachâu'r cleifion a gyffyrddai ag ymyl ei wisg ef.*

Y Pryd hwnnw y clybu [a] Herod y tetrarch son am yr Iesu; Dechreu 32.

2 Ac efe a ddywedodd wrth ei weision, Hwn yw Ioan Fedyddiwr: efe a gyfododd o feirw, ac am hynny y mae nerthoedd yn gweithio ynddo ef.

[a Marc 6. 14. Luc 9. 7.]

3 ¶ [b] Canys Herod a ddaliasai Ioan, ac a'i rhwymasai, ac a'i dodasai yngharchar oblegid Herodias, gwraig Phylip ei frawd ef. 30.

[b Luc 3. 19, 20.]

4 Canys Ioan a ddywedodd wrtho, [c] Nid † cyfreithlawn i ti ei chael hi.

[c Lef. 18. 16. a 20. 21.]

5 Ac efe yn ewyllysio ei roddi ef i farwolaeth, a ofnodd y dyrfa; [d] canys hwy a'i cymmerent ef megis prophwyd.

[† rhydd. d Pen. 21. 26. Luc 20. 6.]

6 Eithr pan gadwyd dydd genedigaeth Herod, y dawnsiodd merch Herodias ‡ ger eu bron hwy, ac a ryngodd fodd Herod.

[‡ Gr. *yn y canol.*]

7 O ba herwydd efe a addawodd trwy lw roddi iddi beth bynnag a ofynai.

8 A hithau, wedi ei rhag-ddysgu gan ei mam, a ddywedodd, Dyro i mi yma ben Ioan Fedyddiwr mewn dysgl.

9 A'r brenhin a fu drist ganddo: eithr o herwydd y llw, a'r rhai a eisteddent gyd ag ef wrth y ford, efe a orchymynodd *ei roi ef iddi.*

10 Ac efe a anfonodd ac a dorrodd ben Ioan yn y carchar.

11 A dygpwyd ei ben ef mewn dysgl, ac a'i rhoddwyd i'r llangces: a hi a'i dug *ef* i'w mam.

12 A'i ddisgyblion ef a ddaethant ac a gymmerasant ei gorph ef, ac a'i claddasant: ac a aethant ac a fynegasant i'r Iesu.

13 ¶ [e] A phan glybu'r Iesu, efe a ymadawodd oddi yno mewn llong, i anghyfanneddle o'r naill du: ac wedi clywed o'r torfeydd, hwy a'i canlynasant ef ar draed allan o'r dinasoedd. 32.

[e Pen. 12. 15. Marc 6. 32. Luc 9. 10.]

14 A'r Iesu a aeth allan, ac a welodd § dyrfa fawr, ac [f] a dosturiodd wrthynt, ac efe a iachaodd eu cleifion hwynt.

[§ *bobl lawer.* f Pen. 9. 36.]

15 ¶ [g] Ac wedi ei myned hi yn hwyr, daeth ei ddisgyblion atto, gan ddywedyd, Y lle sydd anghyfannedd, a'r awr a aeth weithian heibio: gollwng y dyrfa ymaith, fel yr elont i'r pentrefi, ac y prynont iddynt fwyd.

[g Marc 6. 35. Luc 9. 12. Ioan 6. 5.]

16 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Nid rhaid iddynt fyned ymaith: rhoddwch chwi iddynt beth i'w fwytta.

17 A hwy a ddywedasant wrtho, Nid oes gennym ni yma ond pum torth, a dau bysgodyn.

18 Ac efe a ddywedodd, Dygwch hwynt yma i mi.

19 Ac wedi gorchymyn i'r torfeydd eistedd ar y gwelltglas, a chymmeryd y pum torth, a'r ddau bysgodyn, efe a edrychodd i fynu tu a'r nef, ac [h] a fendithiodd, ac a dorrodd; ac a roddes y torthau i'r disgyblion, a'r disgyblion i'r torfeydd.

[h Pen. 15. 36.]

20 A hwynt oll a fwyttasant, ac a gaw-
sant eu digon: ac a godasant o'r briw-fwyd
oedd yngweddill, ddeuddeg basgedaid yn
llawn.
21 A'r rhai a fwyttasent oedd ynghylch
pum-mil o wŷr, heb law gwragedd a phlant.
22 ¶ Ac yn y fan y gyrrodd yr Iesu ei
ddisgyblion i fyned i'r llong, ac i fyned i'r
lan arall o'i flaen ef, tra fyddai efe yn goll-
wng y torfeydd ymaith.
Marc 6. 23 i Ac wedi iddo ollwng y torfeydd y-
46. maith, efe a esgynodd i'r mynydd wrtho ei
k Ioan 6. hun, i weddïo: k ac wedi ei hwyrhâu hi,
16. yr oedd efe yno yn unig.
24 A'r llong oedd weithian ynghanol y
môr, yn drallodus gan donnau: canys gwŷnt
gwrthwynebus ydoedd.
25 Ac yn y bedwaredd wylfa o'r nos yr
aeth yr Iesu attynt, gan rodio ar y môr.
26 A phan welodd y disgyblion ef yn
rhodio ar y môr, dychrynasant, gan ddywe-
dyd, Drychiolaeth ydyw. A hwy a waed-
dasant rhag ofn.
27 Ac yn y man y llefarodd yr Iesu
wrthynt, gan ddywedyd, Cymmerwch gy-
sur: myfi ydyw; nac ofnwch.
28 A Phetr a'i hattebodd, ac a ddywed-
odd, O Arglwydd, os tydi yw, arch i mi
ddyfod attat ar y dyfroedd.
29 Ac efe a ddywedodd, Tyred. Ac wedi
i Petr ddisgyn o'r llong, efe a rodiodd ar y
dyfroedd, i ddyfod at yr Iesu.
30 Ond pan welodd efe y gwŷnt yn gryf,
efe a ofnodd: a phan ddechreuodd suddo,
efe a lefodd, gan ddywedyd, Arglwydd,
cadw fi.
31 Ac yn y man yr estynodd yr Iesu *ei*
law, ac a ymaflodd ynddo ef, ac a ddywe-
dodd wrtho, Tydi o ychydig ffydd, paham y
petrusaist?
32 A phan aethant hwy i mewn i'r llong,
peidodd y gwŷnt.
33 A daeth y rhai oedd yn y llong, ac a'i
haddolasant ef, gan ddywedyd, Yn wir
Mab Duw ydwyt ti.
l Marc 6. 34 ¶ l Ac wedi iddynt fyned trosodd,
53. hwy a ddaethant i dir Gennesaret.
35 A phan adnabu gwŷr y fan honno ef,
hwy a anfonasant i'r holl wlad honno o
amgylch, ac a ddygasant atto y rhai oll
m Pen. 9. oedd mewn anhwyl:
20. 36 Ac a attolygasant iddo gael cyffwrdd
Marc 3. 10. yn unig ag ymyl ei wisg ef: a m chynnifer
Luc 6. 19. ag a gyffyrddodd, a iachawyd.
Act. 19. 12.

PEN. XV.

3 *Crist yn argyoeddi'r ysgrifenyddion a'r Phariseaid, am dorri gorchymynion Duw trwy eu traddodiadau eu hunain: 11 yn dysgu nad yw'r peth sydd yn myned i mewn i'r genau, yn halogi dyn: 21 yn iachâu merch y wraig o Canaan, 30 a thorfoedd eraill lawer: 32 ac â saith dorth, ac ychydig bysgod bychain, yn porthi pedair mil o wŷr, heb law gwragedd a phlant.*

32. YNA'r ysgrifenyddion a'r Phariseaid, y
a Marc 7. rhai oedd o Jerusalem, a a ddaethant
1. at yr Iesu, gan ddywedyd,
2 Paham y mae dy ddisgyblion di yn
troseddu traddodiad yr hynafiaid? canys nid
ydynt yn golchi eu dwylaw pan fwyttaont
fara.
3 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, a phaham yr ydych chwi yn tros-
eddu gorchymyn Duw trwy eich traddodiad
chwi?
4 Canys Duw a orchymynodd, gan ddy-
wedyd, b Anrhydedda dy dad a'th fam: b Exod. 20.
c a'r hwn a felldithio dad neu fam, lladder 12.
ef yn farw. Deut. 5. 16.
Eph. 6. 2.
5 Eithr yr ydych chwi yn dywedyd, Pwy c Exod. 21.
bynnag a ddywedo wrth *ei* dad neu *ei* fam, 17.
d Rhodd *yw* pa beth bynnag y ceit les oddi Lef. 20. 9.
wrthyf fi, ac ni anrhydeddo ei dad neu ei Diar. 20.
fam, *difai fydd.* 20.
6 Ac fel hyn y gwnaethoch orchymyn d Marc 7.
Duw yn ddi-rym trwy eich traddodiad eich 11, 12.
hun.
7 e *Oh* ragrithwŷr, da y prophwydodd e Marc 7.
† Esaias am danoch chwi, gan ddywedyd, 6.
8 f Nesâu y mae y bobl hyn attaf â'u † *Esay.*
genau, a'm hanrhydeddu â'u gwefusau; a'u f Esay 29.
calon sydd bell oddi wrthyf. 13.
Ezec. 33.
9 Eithr yn ofer y'm hanrhydeddant i, 31.
g gan ddysgu gorchymynion dynion yn g Col. 2.
ddysgeidiaeth. 18—22.
10 ¶ h Ac wedi iddo alw'r dyrfa atto, efe h Marc 7.
a ddywedodd wrthynt, Clywch a deallwch. 14.
11 i Nid yr hyn sydd yn myned i mewn i Act. 10.
i'r genau, sydd yn halogi dyn; ond yr hyn 15.
sydd yn dyfod allan o'r genau, hynny sydd Rhuf. 14.
yn halogi dyn. 17, 20.
Tit. 1. 15.
12 Yna y daeth ei ddisgyblion atto, ac a
ddywedasant wrtho, A wyddost ti ymrwystro
o'r Phariseaid wrth glywed yr ymadrodd hwn.
13 Ac yntau a attebodd ac a ddywedodd,
k Pob planhigyn yr hwn ni's plannodd fy k Ioan 15.
Nhad nefol, a ddiwreiddir. 2.
14 Gadêwch iddynt: l tywysogion deillion l Pen. 23.
i'r deillion ydynt. Ac os y dall a dywys y 16.
dall, y ddau a syrthiant yn y ffos. Luc 6. 39.
15 m A Phetr a attebodd ac a ddywedodd m Marc 7.
wrtho, Eglura i ni y ddammeg hon. 17.
16 A dywedodd yr Iesu, n A ydych chwi- n Pen. 16.
thau etto heb ddeall? 9.
17 Onid ydych chwi yn deall etto, fod
o yr hyn oll sydd yn myned i mewn i'r ge- o 1 Cor. 6.
nau, yn cilio i'r bola, ac y bwrir ef allan i'r 13.
geudy?
18 Eithr p y pethau a ddeuant allan o'r p Iago 3. 6.
genau, sy'n dyfod allan o'r galon; a'r *peth-*
*au* hynny a halogant ddyn.
19 q Canys o'r galon y mae meddyliau q Gen. 6. 5
drwg yn dyfod allan, lladdiadau, tor-priod- a 8. 21.
asau, godinebau, lladradau, cam-dystiolae- Diar. 6. 14.
thau, cablau. Jer. 17. 9.
20 Dyma'r pethau sy'n halogi dyn: eithr
bwytta â dwylaw heb olchi, ni haloga ddyn.
21 ¶ r A'r Iesu a aeth oddi yno, ac a gi- r Marc 7.
liodd i dueddau Tyrus a Sidon. 24.
22 Ac wele, gwraig o Canaan a ddaeth
o'r parthau hynny, ac a lefodd, gan ddywe-
dyd wrtho, Trugarhâ wrthyf, O Arglwydd,
Fab Dafydd: y mae fy merch yn ddrwg ei
hwyl gan gythraul.
23 Eithr nid attebodd efe iddi *un* gair.
A daeth ei ddisgyblion atto, ac a attolyg-
asant iddo, gan ddywedyd, Gollwng hi
ymaith; canys y mae hi yn llefain ar ein
hol.
24 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd,
s Ni'm danfonwyd i ond at ddefaid colledig s Pen. 10.
tŷ Israel. 5, 6.
Act. 13.
25 Ond hi a ddaeth ac a'i haddolodd ef, 46.
gan ddywedyd, Arglwydd, cymmorth fi. Rhuf. 15.
26 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd, 8.
Nid da cymmeryd bara'r plant, a'i fwrw i'r
cwn.
27 Hithau a ddywedodd, Gwir yw, Ar-
glwydd: canys y mae'r cwn yn bwytta o'r
briwsion sy'n syrthio oddi ar fwrdd eu har-
glwyddi.

28 Yna'r attebodd yr Iesu, ac a ddy-
wedodd wrthi, Ha wraig, mawr *yw* dy
ffydd: bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio.
A'i merch a iachawyd o'r awr honno allan.
[t] Marc 7. 31. 29 ¶ [t] A'r Iesu a aeth oddi yno, ac a
ddaeth ger llaw môr Galilea; ac a esgynodd
i'r mynydd, ac a eisteddodd yno.
30 A daeth atto dorfeydd lawer, a chan-
[u] Esay 35. 5, 6. Pen. 11. 5. Luc 7. 22. ddynt gyd â hwynt [u] gloffion, deillion, mu-
dion, anafusion, ac eraill lawer: a hwy a'u
bwriasant i lawr wrth draed yr Iesu, ac efe
a'u hiachaodd hwynt:
31 Fel y rhyfeddodd y torfeydd, wrth we-
led y mudion yn llefaru, y rhai anafus yn
iach, y cloffion yn rhodio, a'r deillion yn
gweled: a hwy a ogoneddasant Dduw Is-
rael.
[x] Marc 8. 1. 32 ¶ [x] A galwodd yr Iesu ei ddisgybl-
ion atto, ac a ddywedodd, Yr ydwyf yn
tosturio wrth y dyrfa; canys y maent yn
aros gyd â mi dridiau weithian, ac nid oes
ganddynt ddim i'w fwytta: ac nid ydwyf
yn ewyllysio eu gollwng hwynt ymaith ar eu
cythlwng, rhag eu llewygu ar y ffordd.
33 A'i ddisgyblion a ddywedent wrtho,
O ba le y caem ni gymmaint o fara yn
y diffaethwch, fel y digonid tyrfa gym-
maint?
34 A'r Iesu a ddywedai wrthynt, Pa
sawl torth sydd gennych? A hwy a ddy-
wedasant, Saith, ac ychydig bysgod bych-
ain.
35 Ac efe a orchymynodd i'r torfeydd
eistedd ar y ddaear.
[y] Pen. 14. 19. 36 A [y] chan gymmeryd y saith dorth, a'r
[z] 1 Sam. 9. 13. pysgod, a [z] diolch, efe a'*u* torrodd, ac a'*u*
rhoddodd i'w ddisgyblion, a'r disgyblion i'r
Pen. 14. 19. dyrfa.
37 A hwy oll a fwyttasant, ac a gawsant
eu digon: ac a godasant o'r briw-fwyd oedd
yngweddill, saith fasgedaid yn llawn.
38 A'r rhai a fwyttasant oedd bedair mil o
wŷr, heb law gwragedd a phlant.
[a] Marc 8. 10. 39 [a] Ac wedi iddo ollwng y torfeydd
ymaith, efe a aeth i long, ac a ddaeth i
barthau Magdala.

## PEN. XVI.

1 *Y Phariseaid yn gofyn arwydd.* 6 *Iesu yn
rhybuddio ei ddisgyblion am lefain y Pha-
riseaid a'r Saduceaid.* 13 *Tyb y bobl am
Grist,* 16 *a chyffes Petr am dano.* 21 *Iesu
yn rhag-fynegi ei farwolaeth;* 23 *yn ce-
ryddu Petr am ei gynghori i'r gwrthwyneb:*
24 *ac yn rhybuddio'r sawl a fynnent ei
ganlyn ef, i ddwyn y groes.*

[a] Pen. 12. 38. Marc 8. 11. Luc 12. 54. AC [a] wedi i'r Phariseaid a'r Saduceaid
ddyfod atto, a'i demtio, hwy a at-
tolygasant iddo ddangos iddynt arwydd o'r
nef.
2 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, Pan fyddo'r hwyr, y dywedwch,
Tywydd teg; canys y mae'r wybr yn
goch.
3 A'r bore, Heddyw dryccin: canys y
mae'r wybr yn goch ac yn bruddaidd. O
ragrithwŷr, chwi a fedrwch ddeall wyneb yr
wybren; ac oni fedrwch arwyddion yr am-
serau?
[b] Pen. 12. 39. 4 [b] Y mae cenhedlaeth ddrwg a godinebus
yn ceisio arwydd; ac arwydd ni's rhoddir
iddi, ond arwydd y prophwyd Jonas. Ac
efe a'u gadawodd hwynt, ac a aeth ymaith.
[c] Marc 8. 14. 5 Ac [c] wedi dyfod ei ddisgyblion ef i'r
lan arall, hwy a ollyngasent dros gof gym-
meryd bara *genthynt.*

6 ¶ A'r Iesu a ddywedodd wrthynt,
[d] Edrychwch ac ymogelwch rhag surdoes y [d] Luc 12. 1.
Phariseaid a'r Saduceaid.
7 A hwy a ymresymmasant yn eu plith
eu hunain, gan ddywedyd, *Hyn sydd* am
na chymmerasom fara *gennym.*
8 A'r Iesu yn gwybod, a ddywedodd wrth-
ynt, Chwychwi o ychydig ffydd, pa ham yr
ydych yn ymresymmu yn eich plith eich
hunain, am na chymmerasoch fara *gyd â
chwi?*
9 Onid ydych chwi yn deall etto, nac yn
cofio [e] pum torth y pum-mil, a pha sawl [e] Pen. 14. 17.
basgedaid a gymmerasoch i fynu? Ioan 6. 9.
10 [f] Na saith dorth y pedeir-mil, a pha [f] Pen. 15. 34.
sawl cawellaid a gymmerasoch i fynu?
11 Pa fodd nad ydych yn deall, nad am
fara y dywedais wrthych, ar ymogelyd rhag
surdoes y Phariseaid a'r Saduceaid?
12 Yna y deallasant na ddywedasai efe
am ymogelyd rhag surdoes bara, ond rhag
athrawiaeth y Phariseaid a'r Saduceaid.
13 ¶ Ac wedi dyfod yr Iesu i dueddau
Cesarea Philippi, efe a ofynodd i'w ddisgy-
blion, gan ddywedyd, [g] Pwy y mae dynion [g] Marc 8. 27.
yn dywedyd fy mod i, Mab y dyn? Luc 9. 18.
14 A hwy a ddywedasant, [h] Rhai, *mai* [h] Pen. 14. 2.
Ioan Fedyddiwr, a rhai *mai* Elïas, ac eraill
*mai* Jeremïas, neu un o'r prophwydi. Luc 9. 7, 8, 9.
15 Efe a ddywedodd wrthynt, Ond pwy
meddwch chwi ydwyf fi?
16 A Simon Petr a attebodd ac a ddywe-
dodd, [i] Ti yw'r Crist, Mab y Duw byw. [i] Ioan 6. 69. a 11. 27.
17 A'r Iesu gan atteb a ddywedodd Act. 8. 37.
wrtho, Gwŷn dy fyd di, Simon mab Jona: a 9. 20.
canys nid cig a gwaed a ddatguddiodd *hyn* 1 Ioan 4.
i ti, ond [k] fy Nhad yr hwn sydd yn y ne- 15. a 5. 5.
foedd. [k] 1 Cor. 2. 10.
18 Ac yr ydwyf finnau yn dywedyd i ti,
mai [l] ti yw Petr, ac [m] ar y graig hon yr [l] Ioan 1. 42.
adeiladaf fy eglwys; a phyrth uffern ni's [m] Eph. 2. 20.
gorchfygant hi.
19 A [n] rhoddaf i ti agoriadau teyrnas Dat. 21. 14
nefoedd: a pha beth bynnag a rwymech [n] Pen. 18. 18.
ar y ddaear, a fydd rhwymedig yn y nef-
oedd; a pha beth bynnag a ryddhaech ar Ioan 20. 23
y ddaear, a fydd wedi ei ryddhâu yn y nef-
oedd.
20 [o] Yna y gorchymynodd efe i'w ddis- [o] Pen. 17. 9.
gyblion, na ddywedent i neb mai efe oedd Marc 8. 30.
Iesu Grist. Luc 9. 21.
21 ¶ O hynny allan y dechreuodd yr
Iesu [p] ddangos i'w ddisgyblion fod yn rhaid [p] Pen. 20. 17.
iddo fyned i Jerusalem, a dioddef llawer Marc 9. 31.
gan yr henuriaid, a'r arch-offeiriaid, a'r a 10. 33.
ysgrifenyddion, a'i ladd, a chyfodi y try- Luc 18. 31.
dydd dydd. a 24. 7.
22 A Phetr, wedi ei gymmeryd ef atto, a
ddechreuodd ei geryddu ef, gan ddywedyd,
Arglwydd, trugarhâ wrthyt dy hun; ni's
bydd hyn i ti.
23 Ac efe a drodd, ac a ddywedodd wrth
Petr, [q] Dos yn fy ol i, Satan: rhwystr [q] Edrych
ydwyt ti i mi: am nad ydwyt yn synied 2 Sam. 19. 22.
y pethau sy o Dduw, ond y pethau sy o
ddynion.
24 ¶ [r] Yna y dywedodd yr Iesu wrth ei [r] Pen. 10. 38.
ddisgyblion, Os myn neb ddyfod ar fy ol i, Marc 8. 34.
ymwaded ag ef ei hun, a chyfoded ei groes, Luc 9. 23.
a chanlyned fi. a 14. 27.
25 Canys [s] pwy bynnag a ewyllysio gadw [s] Luc 17. 33.
ei fywyd, a'i cyll: a phwy bynnag a gollo Ioan 12. 25.
ei fywyd o'm plegid i, a'i caiff.
26 Canys pa lesâd i ddyn, os ennill efe yr
holl fyd, a cholli ei enaid ei hun? neu [t] pa [t] Psal. 49. 7, 8.
beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?

u Pen. 26. 27 Canys u Mab y dyn a ddaw yngogon-
64. Marc 8. 38. iant ei Dad x gyd â'i angylion; y ac yna y
x Zech. 14. rhydd efe i bawb yn ol ei weithred.
5. 28 Yn wir y dywedaf wrthych, z Y mae
Pen. 25. 31. rhai o'r sawl sydd yn sefyll yma, a'r ni
Judas 14. phrofant angau, hyd oni welont Fab y dyn
y Job 34. 11. yn dyfod yn ei frenhiniaeth.

Psal. 62. 12. Rhuf. 2. 6. Dat. 2. 23. z Marc 9. 1. Luc 9. 27.

## PEN. XVII.

1 *Gwedd-newidiad Crist.* 14 *Y mae efe yn iachâu y lloerig;* 22 *yn rhag-fynegi ei ddioddefaint;* 24 *ac yn talu teyrn-ged.*

32.
a Marc 9. 2. AC a ar ol chwe diwrnod, y cymmerodd
yr Iesu Petr, ac Iago, ac Ioan ei
Luc 9. 28. frawd, ac a'u dug hwy i fynydd uchel o'r
neilldu.
2 A gwedd-newidiwyd ef ger eu bron
hwy: a'i wyneb a ddisgleiriodd fel yr haul,
a'i ddillad oedd cyn wynned a'r goleuni.
3 Ac wele, Moses ac Elïas a ymddangos-
odd iddynt, yn ymddiddan ag ef.
4 A Phetr a attebodd ac a ddywedodd
wrth yr Iesu, O Arglwydd, da yw i ni fod
yma: os ewyllysi, gwnawn yma dair pa-
bell; un i ti, ac un i Moses, ac un i Elïas.
b 2 Petr 1. 17. 5 b Ac efe etto yn llefaru, wele, cwmmwl
goleu a'u cysgododd hwynt: ac wele, lef o'r
c Pen. 3. 17. cwmmwl, yn dywedyd, c Hwn yw fy an-
Marc 1. 11. wyl fab, d yn yr hwn y'm boddlonwyd:
Luc 3. 22. e gwrandêwch arno ef.
d Esay 42. 1. 6 A phan glybu'r disgyblion *hynny*, hwy
a syrthiasant ar eu hwyneb, ac a ofnasant
e Deut. 18. 19. yn ddirfawr.
Act. 3. 23. 7 A daeth yr Iesu, ac f a gyffyrddodd â
f Dan. 8. 18. a 9. 21. hwynt, ac a ddywedodd, Cyfodwch, ac nac
ofnwch.
a 10. 10, 18. 8 Ac wedi iddynt ddyrchafu eu llygaid,
ni welsant neb ond yr Iesu yn unig.
9 Ac fel yr oeddynt yn disgyn o'r my-
g Pen. 16. 20. nydd, g gorchymynodd yr Iesu iddynt,
gan ddywedyd, Na ddywedwch y weled-
igaeth i neb, hyd oni adgyfodo Mab y dyn
o feirw.
10 A'i ddisgyblion a ofynasant iddo, gan
h Mal. 4. 5. ddywedyd, h Pahâm gan hynny y mae'r
ysgrifenyddion yn dywedyd, fod yn rhaid
Pen. 11. 14. Marc 9. 11. dyfod o Elïas yn gyntaf?
11 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, Elïas yn wir a ddaw yn gyntaf, ac
Luc 1. 16, 17. i a edfryd bob peth.
Act. 3. 21. 12 Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi,
ddyfod o Elïas eisoes; ac nad adnabuant
hwy ef, ond gwneuthur o honynt iddo
beth bynnag a fynnasant: felly y bydd
hefyd i Fab y dyn ddioddef ganddynt
hwy.
13 Yna y dealldd y disgyblion mai am
Ioan Fedyddiwr y dywedasai efe wrthynt.
k Marc 9. 14. 14 ¶ k Ac wedi eu dyfod hwy at y dyrfa,
Luc 9. 37. daeth atto *ryw* ddyn, *ac* a ostyngodd iddo
ar ei liniau,
15 Ac a ddywedodd, Arglwydd, tru-
garhâ wrth fy mab, oblegid y mae efe yn
lloerig, ac yn flin arno: canys y mae efe yn
syrthio yn y tân yn fynych, ac yn y dwfr
yn fynych.
16 Ac mi a'i dygais ef at dy ddisgyblion
di, ac ni allent hwy ei iachâu ef.
17 A'r Iesu a attebodd ac a ddywed-
odd, O genhedlaeth anffyddlon a thro-
faus, pa hyd y byddaf gyd â chwi? pa
hyd y dioddefaf chwi? dygwch ef yma
attaf fi.
18 A'r Iesu a geryddodd y cythraul; ac
efe a aeth allan o hono: a'r bachgen a
iachawyd o'r awr honno.
19 Yna y daeth y disgyblion at yr Iesu o'r
neilldu, ac y dywedasant, Pahâm na allem
ni ei fwrw ef allan?
20 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Ob-
legid eich anghrediniaeth: canys yn wir y
dywedaf i chwi, l Pe bai gennych ffydd l Pen. 21. 21.
megis gronyn o had mwstard, chwi a
ddywedech wrth y mynydd hwn, Symmud Marc 11. 23.
oddi yma draw, ac efe a symmudai; ac ni Luc 17. 6.
bydd dim ammhosibl i chwi. 1 Cor. 12. 9. a 13. 2.
21 Eithr nid â y rhywogaeth hyn allan,
ond trwy weddi ac ympryd.
22 ¶ m Ac fel yr oeddynt hwy yn aros yn m Pen. 16.
Galilea, dywedodd yr Iesu wrthynt, Mab y 21. a 20. 17.
dyn a draddodir i ddwylaw dynion: Marc 8. 31. a 9. 30. a
23 A hwy a'i lladdant, a'r trydydd dydd y 10. 33.
cyfyd efe. A hwy a aethant yn drist iawn. Luc 9. 22,
24 ¶ n Ac wedi dyfod o honynt i Caper- 44. a 18. 31.
naum, y rhai oedd yn derbyn † *arian* y n Marc 9.
deyrn-ged a ddaethant at Petr, ac a ddy- 33.
wedasant, Onid yw eich athraw chwi yn † A elwir
talu teyrn-ged? yn y Groeg-
25 Yntau a ddywedodd, Ydyw. Ac wedi iaith,
ei ddyfod ef i'r tŷ, yr Iesu a achubodd ei *didrach-*
flaen ef, gan ddywedyd, Beth yr wyt ti yn *ma.* Gwel
ei dybied, Simon? gan bwy y cymmer bren- Exod. 30.
hinoedd y ddaear deyrn-ged neu dreth? gan 13. a 38. 26.
eu plant eu hun, ynte gan estroniaid?
26 Petr a ddywedodd wrtho, Gan estron-
iaid. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Gan
hynny y mae y plant yn rhyddion.
27 Er hynny, rhag i ni eu rhwystro
hwy, dos i'r môr, a bwrw fâch, a chymmer
y pysgodyn a ddêl i fynu yn gyntaf; ac
wedi i ti agoryd ei safn, ti a gei ‡ ddarn o ‡ Neu,
arian: cymmer hwnnw, a dyro iddynt drosof *stater.*
fi a thithau.

## PEN. XVIII.

1 *Crist yn rhybuddio ei ddisgyblion i fod yn ostyngedig ac yn ddiniweid;* 7 *i ochelyd rhwystrau, ac na ddirmygent y rhai bychain:* 15 *yn dysgu pa fodd y mae i ni ymddwyn tu ag at ein brodyr, pan wnelont i'n herbyn;* 21 *a pha sawl gwaith y maddeuwn iddynt:* 23 *yr hyn beth y mae yn ei osod allan trwy ddammeg y brenhin a gymmerai gyfrif gan ei weision,* 32 *ac a gospodd yr hwn ni wnaethai drugaredd â'i gydymmaith.*

AR a yr awr honno y daeth y disgyblion 32.
at yr Iesu, gan ddywedyd, Pwy sydd a Marc 9.
fwyaf yn nheyrnas nefoedd? 33.
2 A'r Iesu a alwodd atto fachgennyn, ac Luc 9. 46.
a'i gosododd yn eu canol hwynt; a 22. 24.
3 Ac a ddywedodd, Yn wir y dywedaf i
chwi, b Oddi eithr eich troi chwi, a'ch gw- b Psal. 131.
neuthur fel plant bychain, nid ewch chwi 2. Pen. 19
ddim i mewn i deyrnas nefoedd. 14.
4 Pwy bynnag gan hynny a'i gostyngo ei 1 Cor. 14.
hunan fel y bachgennyn hwn, hwnnw yw'r 20. 1 Petr 2. 2.
mwyaf yn nheyrnas nefoedd.
5 A c phwy bynnag a dderbynio gyfryw c Pen. 10.
fachgennyn yn fy enw i, a'm derbyn i. 42.
6 d A phwy bynnag a rwystro un o'r rhai d Marc 9.
bychain hyn a gredant ynof fi, da fyddai 42.
iddo pe crogid maen melin am ei wddf, a'i Luc 17. 1,
foddi yn eigion y môr. 2.
7 ¶ Gwae'r byd oblegid rhwystrau: ca- e 1 Cor. 11.
nys e anghenrhaid yw dyfod rhwystrau; er 19.
hynny f gwae y dyn hwnnw trwy'r hwn y f Pen. 26.
daw y rhwystr. 24.
8 g Am hynny os dy law neu dy droed g Pen. 5.
a'th rwystra, tor hwynt ymaith, a thafl 29, 30.
oddi wrthyt: gwell yw i ti fyned i mewn Marc 9. 43, 45.

i'r bywyd yn gloff, neu yn anafus, nag â chennyt ddwy law, neu ddau droed, dy daflu i'r tân tragywyddol.

9 Ac os dy lygad a'th rwystra, tyn ef allan, a thafl oddi wrthyt: gwell yw i ti yn un-llygeidiog fyned i mewn i'r bywyd, nag â dau lygad gennyt dy daflu i dân uffern.

10 Edrychwch na ddirmygoch yr un o'r rhai bychain hyn: canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, fod [h] eu hangylion hwy yn y nefoedd bob amser yn gweled wyneb fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd.

11 [i] Canys daeth Mab y dyn i gadw'r hyn a gollasid.

12 [k] Beth dybygwch chwi? O bydd gan ddyn gant o ddefaid, a myned o un o honynt ar † ddisberod; oni ad efe yr amyn un cant, a myned i'r mynyddoedd, a cheisio yr hon a aeth ar ddisberod?

13 Ac os bydd *iddo* ei chael hi, yn wir meddaf i chwi, y mae yn llawenhâu am honno mwy nag am yr amyn un cant y rhai nid aethant ar ddisberod.

14 Felly nid yw ewyllys eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd, gyfrgolli'r un o'r rhai bychain hyn.

15 ¶ [l] Ac os pecha dy frawd i'th erbyn, dos, ac argyhoedda ef rhyngot ti ac ef ei hun. Os efe a wrendy arnat, [m] ti a ynnillaist dy frawd.

16 Ac os efe ni wrendy, cymmer gyd â thi etto un neu ddau, fel [n] yngenau dau neu dri o dystion y byddo pob gair yn safadwy.

17 Ac os efe ni wrendy arnynt hwy, dywaid i'r eglwys: ac os efe ni wrendy ar yr eglwys chwaith, bydded ef i ti megis [o] yr ‡ ethnig a'r publican.

18 Yn wir meddaf i chwi, [p] Pa bethau bynnag a rwymoch ar y ddaear, fyddant wedi eu rhwymo yn y nef: a pha bethau bynnag a ryddhaoch ar y ddaear, a fyddant wedi eu rhyddhâu yn y nef.

19 Trachefn meddaf i chwi, Os cydsynia dau o honoch ar y ddaear am ddim oll beth bynnag a'r a ofynant, [q] efe a wneir iddynt gan fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd.

20 Canys lle mae dau neu dri wedi ymgynnull yn fy enw i, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt.

21 ¶ Yna y daeth Petr atto ef, ac a ddywedodd, Arglwydd, pa sawl gwaith y pecha fy mrawd i'm herbyn, ac y maddeuaf iddo? [r] a'i hyd seithwaith?

22 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Nid ydwyf yn dywedyd wrthyt, Hyd seithwaith: [s] ond, Hyd ddengwaith a thrugain seithwaith.

23 ¶ Am hynny y cyffelybir teyrnas nefoedd i ryw frenhin a fynnai gael cyfrif gan ei weision.

24 A phan ddechreuodd gyfrif, fe a ddygwyd atto un a oedd yn ei ddyled ef o ddengmil o dalentau.

25 A chan nad oedd ganddo *ddim* i dalu, gorchymynodd ei arglwydd ei werthu ef, a'i wraig, a'i blant, a chwbl a'r a feddai, a thalu'r *ddyled*.

26 A'r gwas a syrthiodd i lawr, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, bydd ymarhous wrthyf, a mi a dalaf i ti y cwbl oll.

27 Ac arglwydd y gwas hwnnw a dosturiodd *wrtho*, ac a'i gollyngodd, ac a faddeuodd iddo y ddyled.

[h] Psal. 34. 7. Zech. 13. 7. Heb. 1. 14.
[i] Luc 19. 10.
[k] Luc 15. 4.
† *goll.*
[l] Lef. 19. 17. Eccl. 19. 13. Luc 17. 3.
[m] Iago 5. 20. 1 Petr 3. 1.
[n] Deut. 19. 15. Ioan 8. 17. 2 Cor. 13. 1. Heb. 10. 28.
[o] Rhuf. 16. 17. 1 Cor. 5. 9.
‡ *anghredadyn.*
[p] Pen. 16. 19. Ioan 20. 23. 1 Cor. 5. 4.
[q] 1 Ioan 3. 22. a 5. 14.
[r] Luc 17. 4.
[s] Pen. 6. 14. Marc 11. 25. Col. 3. 13.

28 Ac wedi myned o'r gwas hwnnw allan, efe a gafodd un o'i gyd-weision yr hwn oedd yn ei ddyled ef o gan ceiniog: ac efe a ymaflodd ynddo, ac a'i llindagodd, gan ddywedyd, Tâl i mi yr hyn sydd ddyledus arnat.

29 Yna y syrthiodd ei gyd-was wrth ei draed ef, ac a ymbiliodd ag ef, gan ddywedyd, Bydd ymarhous wrthyf, a mi a dalaf i ti y cwbl oll.

30 Ac ni's gwnai efe: ond myned a'i fwrw ef yngharchar, hyd oni thalai yr hyn oedd ddyledus.

31 A phan welodd ei gyd-weision y pethau a wnelsid, bu ddrwg dros ben ganddynt: a hwy a ddaethant ac a fynegasant i'w harglwydd yr holl bethau a fuasai.

32 Yna ei arglwydd, wedi ei alw ef atto, a ddywedodd wrtho, Ha was drwg, maddeuais i ti yr holl ddyled honno, am i ti ymbil â mi:

33 Ac oni ddylesit tithau drugarhâu wrth dy gyd-was, megis y trugarheais innau wrthyt ti?

34 A'i arglwydd a ddigiodd, ac a'i rhoddodd ef i'r poenwŷr, hyd oni thalai yr hyn oll oedd ddyledus iddo.

35 Ac [t] felly y gwna fy Nhad nefol i chwithau, oni faddeuwch o'ch calonnau bob un i'w frawd eu camweddau.

[t] Mat. 6. 14. Marc 11. 26. Iago 2. 13.

## PEN. XIX.

2 *Crist yn iachâu y cleifion:* 3 *yn atteb y Phariseaid am ysgariaeth:* 10 *yn dangos pa bryd y mae priodas yn angenrheidiol:* 13 *yn derbyn plant bychain:* 16 *yn dysgu i'r gwr ieuangc y modd i gael bywyd tragywyddol,* 20 *ac i fod yn berffaith:* 23 *yn dywedyd i'w ddisgyblion mor anhawdd ydyw i'r goludog fyned i mewn i deyrnas Duw;* 27 *ac yn addaw gwobr i'r sawl a ymadawant â dim er mwyn ei ganlyn ef.*

33.

A Bu, [a] pan orphenodd yr Iesu yr ymadroddion hyn, efe a ymadawodd o Galilea, ac a ddaeth i derfynau Judea, tu hwnt i'r Iorddonen:

2 [b] A thorfeydd lawer a'i canlynasant ef; ac efe a'u hiachaodd hwynt yno.

3 ¶ A daeth y Phariseaid atto, gan ei demtio, a dywedyd wrtho, Ai † cyfreithlawn i wr ysgar â'i wraig am bob achos?

4 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Oni ddarllenasoch, [c] i'r hwn a'u gwnaeth o'r dechreu, eu gwneuthur hwy yn wrryw a banyw?

5 Ac efe a ddywedodd, [d] Oblegid hyn y gâd dyn dad a mam, ac y glŷn wrth ei wraig: [e] a'r ddau fyddant yn un cnawd.

6 O herwydd paham, nid ydynt mwy yn ddau, ond yn un cnawd. Y peth gan hynny a gyssylltodd Duw, na ysgared dyn.

7 Hwythau a ddywedasant wrtho, [f] Paham gan hynny y gorchymynodd Moses roddi llythyr ysgar, a'i gollwng hi ymaith?

8 Yntau a ddywedodd wrthynt, Moses, ‡ o herwydd caledrwydd eich calonnau, a oddefodd i chwi ysgar â'ch gwragedd: eithr o'r dechreu nid felly yr oedd.

9 [g] Ac meddaf i chwi, Pwy bynnag a ysgaro â'i wraig, ond am odineb, ac a briodo un arall, y mae efe yn torri prïodas: ac y mae'r hwn a briodo yr hon a ysgarwyd, yn torri prïodas.

10 ¶ Dywedodd ei ddisgyblion wrtho, Os felly y mae'r achos rhwng gwr a gwraig, nid da gwreicca.

[a] Marc 10. 1.
[b] Pen. 12. 15.
† *rhydd.*
[c] Gen. 1. 27. a 5. 2. Mal. 2. 15.
[d] Gen. 2. 24. Marc 10. 5-8. Eph. 5. 31.
[e] 1 Cor. 6. 16. a 7. 2.
[f] Deut. 24. 1. Mat. 5. 31.
‡ *am galedrwydd.*
[g] Pen. 5. 32. Marc 10. 11. Luc 16. 18. 1 Cor. 7. 10, 11.

h 1 Cor. 7. 2, 7, 9, 17. 11 Ac efe a ddywedodd wrthynt, h Nid
yw pawb yn derbyn y gair hwn, ond *y rhai*
y rhoddwyd iddynt.
12 Canys y mae eunuchiaid a aned felly
o groth *eu* mam; ac y mae eunuchiaid a
i 1 Cor. 7. 32, 34. a 9. 5, 15. wnaed gan ddynion yn eunuchiaid; ac i y
mae eunuchiaid a'u gwnaethant eu hun yn
eunuchiaid er mwyn teyrnas nefoedd. Y
neb a ddichon *ei* dderbyn, derbynied.
k Marc 10. 13. Luc 18. 15. 13 ¶ k Yna y dygwyd atto blant bych-
ain, fel y rhoddai *ei* ddwylaw arnynt, ac
y gweddïai: a'r disgyblion a'u ceryddodd
hwynt.
14 A'r Iesu a ddywedodd, Gadêwch i
blant bychain, ac na waherddwch iddynt
l Pen. 18. 3. ddyfod attaf fi: canys l eiddo y cyfryw rai
yw teyrnas nefoedd.
15 Ac wedi iddo roddi *ei* ddwylaw ar-
nynt, efe a aeth *ymaith* oddi yno.
m Marc 10. 17. Luc 18. 18. 16 ¶ m Ac wele, un a ddaeth, ac a ddy-
wedodd wrtho, Athraw n da, pa beth da a
wnaf, fel y caffwyf fywyd tragywyddol?
n Luc 10. 25. 17 Yntau a ddywedodd wrtho, Paham y
gelwi fi yn dda? nid da neb ond un, *sef*
Duw: ond os ewyllysi fyned i mewn i'r
bywyd, cadw y gorchymynion.
18 Efe a ddywedodd wrtho yntau, Pa
o Exod. 20. 13. Deut. 5. 17. rai? A'r Iesu a ddywedodd, o Na ladd, Na
odineba, Na ladratta, Na ddwg gam dysti-
olaeth,
p Pen. 15. 4. 19 p Anrhydedda dy dad *a'th* fam, a
q Câr dy gymmydog fel ti dy hun.
q Lef. 19. 18. Pen. 22. 39. Rhuf. 13. 9. Gal. 5. 14. Iago 2. 8. 20 Y gwr ieuangc a ddywedodd wrtho,
Mi a gedwais y rhai hyn oll o'm hieuengc-
tid: beth sydd yn eisiau i mi etto?
r Pen. 6. 20. Luc 12. 33. a 16. 9. 1 Tim. 6. 18, 19. 21 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Os ewy-
llysi fod yn berffaith, r dos, gwerth yr hyn
sydd gennyt, a dyro i'r tlodion; a thi a gei
drysor yn y nef: a thyred, canlyn fi.
22 A phan glybu y gwr ieuangc yr yma-
drodd, efe a aeth i ffordd yn drist: canys yr
oedd yn berchen dâ lawer.
23 ¶ Yna y dywedodd yr Iesu wrth ei
ddisgyblion, Yn wir y dywedaf i chwi, mai
s Marc 10. 24. 1 Tim. 6. 9, 10. yn anhawdd yr â s goludog i mewn i deyrnas
nefoedd.
24 A thrachefn meddaf i chwi, Haws yw
i gamel fyned trwy grau y nodwydd ddur,
nag i oludog fyned i mewn i deyrnas
Dduw.
25 A phan glybu ei ddisgyblion ef *hyn*,
synnu a wnaethant yn ddirfawr, gan ddy-
wedyd, Pwy gan hynny a all fod yn gadw-
edig?
26 A'r Iesu a edrychodd arnynt, ac a
ddywedodd wrthynt, Gyd â dynion am-
t Jer. 32. 17. Zech. 8. 6. Luc 1. 37. a 18. 27. mhosibl yw hyn, ond t gyd â Duw pob peth
sydd bosibl.
27 ¶ u Yna Petr a attebodd ac a ddywe-
dodd wrtho, Wele, x nyni a adawsom bob
u Marc 10. 28. Luc 18. 28. peth, ac a'th ganlynasom di: beth gan
hynny a fydd i ni?
28 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn
x Pen. 4. 20. Luc 5. 11. wir meddaf i chwi, y cewch chwi, y rhai a'm
canlynasoch i yn yr ad-enedigaeth, pan
eisteddo Mab y dyn ar orsedd ei ogoniant,
y Pen. 20. 21. Luc 22. 28, 29, 30. 1 Cor. 6. 2, 3. Dat. 2. 26. y eisteddwch chwithau ar ddeuddeg gorsedd, yn
barnu deuddeg llwyth Israel.
29 A phob un a'r a adawodd dai, neu
frodyr, neu chwïorydd, neu dad, neu fam,
neu wraig, neu blant, neu diroedd, er
mwyn fy enw i, a dderbyn y can cym-
z Pen. 20. 16. Marc 10. 31. Luc 13. 30. maint, a bywyd tragywyddol a etifedda
efe.
30 z Ond llawer *o'r rhai* blaenaf a fyddant
yn olaf, a'r rhai olaf yn flaenaf.

## PEN. XX.

1 *Crist, trwy ddammeg y gweithwŷr yn y winllan, yn dangos nad ydyw Duw yn ddyledwr i neb: 17 yn rhag-fynegi ei ddioddefaint: 20 trwy atteb i fam meibion Zebedëus, yn dysgu i'w ddisgyblion fod yn ostyngedig; 30 ac yn rhoddi i ddau ddyn dall eu golwg.*

CANYS teyrnas nefoedd sydd debyg i wr 33.
o berchen tŷ, yr hwn a aeth allan a hi
yn dyddhâu, i gyflogi gweithwŷr i'w win-
llan.
2 Ac wedi cyttuno â'r gweithwŷr er
ceiniog y dydd, efe a'u hanfonodd hwy i'w
winllan.
3 Ac efe a aeth allan ynghylch y drydedd
awr, ac a welodd eraill yn sefyll yn segur yn
y farchnadfa;
4 Ac a ddywedodd wrthynt, Ewch chwi-
thau i'r winllan; a pha beth bynnag a
fyddo cyfiawn, mi a'i rhoddaf i chwi.
5 A hwy a aethant ymaith. *Ac* efe a
aeth allan drachefn ynghylch y chweched
a'r nawfed awr, ac a wnaeth yr un modd.
6 Ac efe a aeth allan ynghylch yr un-
fed awr ar ddeg, ac a gafodd eraill yn sefyll
yn segur, ac a ddywedodd wrthynt, Pa-
ham y sefwch chwi yma ar hŷd y dydd yn
segur?
7 Dywedasant wrtho, Am na chyflog-
odd neb nyni. Dywedodd yntau wrthynt,
Ewch chwithau i'r winllan; a pha beth
bynnag fyddo cyfiawn, chwi a'i cewch.
8 A phan aeth hi yn hwyr, arglwydd y
winllan a ddywedodd wrth ei oruchwyliwr,
Galw 'r gweithwŷr, a dyro iddynt *eu* cyflog,
gan ddechreu o'r *rhai* diweddaf hyd *y rhai*
cyntaf.
9 A phan ddaeth y rhai *a gyflogasid* yng-
hylch yr unfed awr ar ddeg, hwy a gawsant
bob un geiniog.
10 A phan ddaeth y rhai cyntaf, hwy a
dybiasant y caent fwy; a hwythau a gaw-
sant bob un geiniog.
11 Ac wedi iddynt gael, grwgnach a
wnaethant yn erbyn gwr y tŷ,
12 Gan ddywedyd, Un awr † y gweith- † Neu, *yr arhosodd.*
iodd y rhai olaf hyn, a thi a'u gwnaethost
hwynt yn gystal â ninnau, y rhai a ddyg-
asom bwys y dydd a'r gwres.
13 Yntau a attebodd ac a ddywedodd
wrth un o honynt, Y cyfaill, nid ydwyf yn
gwneuthur cam â thi: onid er ceiniog y cyt-
tunaist â mi?
14 Cymmer yr *hyn sydd* eiddot, a dos
ymaith: yr ydwyf yn ewyllysio rhoddi i'r
olaf hwn megis i tithau.
15 a Ai nid ‡ cyfreithlawn i mi wneu- a Rhuf. 9. 21.
thur a fynnwyf â'r eiddof fy hun? neu a
ydyw dy b lygad di yn ddrwg, am fy mod ‡ *rhydd.*
i yn dda? b Deut. 15. 9.
16 c Felly y rhai olaf fyddant yn flaenaf, Diar. 23. 6.
a'r rhai blaenaf yn olaf: d canys llawer sy Pen. 6. 23.
wedi eu galw, ac ychydig wedi eu dewis. c Marc 10. 31.
17 ¶ e Ac a'r Iesu yn myned i fynu i Je-
rusalem, efe a gymmerth y deuddeg disgybl d Pen. 22. 14.
o'r neilldu ar y ffordd, ac a ddywedodd
wrthynt, e Marc 10. 32.
18 Wele, yr ydym ni yn myned i fynu i Luc 18. 31.
Jerusalem; a Mab y dyn a draddodir i'r
arch-offeiriaid a'r ysgrifenyddion, a hwy f Pen. 27. 2.
a'i condemniant ef i farwolaeth,
19 f Ac a'i traddodant ef i'r Cenhedloedd, Luc 23. 1.
i'w watwar, ac i'w fflangellu, ac i'w groes- Ioan 18. 28, &c.
hoelio: a'r trydydd dydd efe a adgyfyd. Act. 3. 13.

20 ¶ [g] Yna y daeth mam meibion [h] Ze-
bedeus atto gyd â'i meibion, gan addoli, a
deisyf rhyw beth ganddo.
21 Ac efe a ddywedodd wrthi, Pa beth a
a fynni? Dywedodd hithau wrtho, Dywaid
am gael o'm dau fab hyn eistedd, y naill ar
dy law ddehau, a'r llall ar dy law aswy, yn
dy frenhiniaeth.
22 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd,
Ni wyddoch chwi beth yr ydych yn ei
ofyn. A ellwch chwi yfed o'r [i] cwppan yr
ydwyf fi ar yfed o hono, a'ch bedyddio â'r
[k] bedydd y bedyddir fi? Dywedasant wrtho,
Gallwn.
23 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Dïau
yr yfwch o'm cwppan, ac y'ch bedyddir
â'r bedydd y'm bedyddir ag ef: eithr eist-
edd ar fy llaw ddehau ac ar fy llaw aswy,
nid eiddof ei [l] roddi; ond i'r sawl y dar-
parwyd gan fy Nhad.
24 [m] A phan glybu y deg *hyn*, hwy a sor-
rasant wrth y ddau frodyr.
25 A'r Iesu a'u galwodd hwynt atto, ac a
ddywedodd, Chwi a wyddoch fod pennae-
thiaid y Cenhedloedd yn tra-arglwyddiaethu
arnynt, a'r rhai mawrion yn tra-awdurdodi
arnynt hwy.
26 Eithr [n] nid felly y bydd yn eich plith
chwi: ond [o] pwy bynnag a fynno fod yn
fawr yn eich plith chwi, bydded yn weini-
dog i chwi;
27 A phwy bynnag a fynno fod yn ben-
naf yn eich plith, bydded yn was i chwi:
28 Megis na ddaeth [p] Mab y dyn i'w wa-
sanaethu, [q] ond i wasanaethu, ac [r] i roddi
ei einioes yn bridwerth [s] dros lawer.
29 [t] Ac a hwy yn myned allan o Jericho,
tyrfa fawr a'i canlynodd ef.
30 ¶ Ac wele, dau ddeillion yn eistedd
ar *fin* y ffordd, pan glywsant fod yr Iesu
yn myned heibio, a lefasant, gan ddy-
wedyd, Arglwydd, fab Dafydd, trugarhâ
wrthym.
31 A'r dyrfa a'u ceryddodd hwynt, fel y
tawent: hwythau a lefasant fwyfwy, gan
ddywedyd, Arglwydd, fab Dafydd, tru-
garhâ wrthym.
32 A'r Iesu a safodd, ac a'u galwodd
hwynt, ac a ddywedodd, Pa beth a ewyllys-
iwch ei wneuthur o honof i chwi?
33 Dywedasant wrtho, Arglwydd, agoryd
ein llygaid ni.
34 A'r Iesu a dosturiodd *wrthynt*, ac a
gyffyrddodd â'u llygaid: ac yn ebrwydd y
cafodd eu llygaid olwg, a hwy a'i canlyn-
asant ef.

[g] Marc 10. 35. [h] Pen. 4. 21. [i] Pen. 26. 39, 42. Ioan 18. 11. [k] Luc 12. 50. [l] Pen. 25. 34. [m] Marc 10. 41. Luc 22. 24, 25. [n] 1 Petr 5. 3. [o] Pen. 23. 11. Marc 9. 35. a 10. 43. [p] Phil. 2. 7. [q] Luc 22. 27. Ioan 13. 14. [r] 1 Tim. 2. 6. Tit. 2. 14. 1 Petr 1. 19. [s] Pen. 26. 28. Rhuf. 5. 15, 19. [t] Marc 10. 46. Luc 18. 35.

## PEN. XXI.

1 *Crist yn marchogaeth ar asen i Jerusalem;*
*12 yn gyrru'r prynwŷr a'r gwerthwŷr o'r*
*deml; 17 yn melldithio'r ffigysbren; 23*
*yn gostegu'r offeiriaid a'r henuriaid, 28 ac*
*yn eu ceryddu trwy gyffelybrwydd y ddau*
*fab, 33 a'r llafurwŷr a laddasant y rhai a*
*anfonwyd attynt.*

33. A [a] Phan ddaethant yn gyfagos i Jerusa-
lem, a'u dyfod hwy i Bethphage, i
[b] fynydd yr Olewŷdd, yna yr anfonodd yr
Iesu ddau ddisgybl,
2 Gan ddywedyd wrthynt, Ewch i'r pen-
tref sydd ar eich cyfer, ac yn y man chwi a
gewch asen yn rhwym ac ebol gyd â hi:
gollyngwch *hwynt*, a dygwch attaf fi.
3 Ac os dywed neb ddim wrthych, dywed-
wch, Y mae'n rhaid i'r Arglwydd wrthynt:
ac yn y man efe a'u denfyn hwynt.

[a] Marc 11. 1. Luc 19. 29. [b] Zech. 14. 4.

4 A hyn oll a wnaethpwyd, fel y cyf-
lawnid yr hyn a ddywedasid trwy'r pro-
phwyd, yn dywedyd,
5 [c] Dywedwch i ferch Sïon, Wele, dy
Frenhin yn dyfod i ti yn addfwyn, ac yn
eistedd ar asyn, ac ebol llwdn *asyn* arferol
â'r iau.
6 Y [d] disgyblion a aethant, ac a wnaeth-
ant fel y gorchymynasai'r Iesu iddynt.
7 A hwy a ddygasant yr asen a'r ebol, ac
[e] a ddodasant eu dillad arnynt, ac a'i go-
sodasant *ef* i eistedd ar hynny.
8 A thyrfa ddirfawr a danasant eu dillad
ar y ffordd; [f] eraill a dorrasant gangau o'r
gwŷdd, ac a'u tanasant ar hŷd y ffordd.
9 A'r torfeydd, y rhai oedd yn myned
o'r blaen, a'r rhai oedd yn dyfod ar ol, a le-
fasant, gan ddywedyd, Hosanna i fab Da-
fydd: [g] Bendigedig yw'r hwn sydd yn dy-
fod yn enw'r Arglwydd: Hosanna yn y go-
ruchafion.
10 [h] Ac wedi ei ddyfod ef i mewn i Jeru-
salem, y ddinas oll a gynhyrfodd, gan ddy-
wedyd, Pwy yw hwn?
11 A'r torfeydd a ddywedasant, Hwn yw
Iesu y prophwyd [i] o Nazareth yn Galilea.
12 ¶ A'r Iesu a aeth i mewn i deml Dduw,
ac a daflodd allan bawb a'r oedd yn gwer-
thu ac yn prynu yn y deml, ac a ddym-
chwelodd i lawr fyrddau y newidwŷr arian,
a chadeiriau y rhai oedd yn gwerthu colom-
menod:
13 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ysgrif-
enwyd, [k] Tŷ gweddi y gelwir fy nhŷ
i; eithr [l] chwi a'i gwnaethoch yn ogof lla-
dron.
14 A daeth y deillion a'r cloffion atto yn
y deml; ac efe a'u hiachaodd hwynt.
15 A phan welodd yr arch-offeiriaid a'r
ysgrifenyddion y rhyfeddodau a wnaethai
efe, a'r plant yn llefain yn y deml, ac yn
dywedyd, Hosanna i fab Dafydd; hwy a li-
diasant.
16 Ac a ddywedasant wrtho, A wyt ti yn
clywed beth y mae y rhai hyn yn ei ddy-
wedyd? A'r Iesu a ddywedodd wrthynt,
Ydwyf. Oni ddarllenasoch chwi erioed,
[m] O enau plant bychain a rhai yn sugno y
perffeithiaist foliant?
17 ¶ Ac efe a'u gadawodd hwynt, ac a
aeth allan o'r ddinas i [n] Bethania, ac a let-
tyodd yno.
18 [o] A'r bore, fel yr oedd efe yn dy-
chwelyd i'r ddinas, yr oedd arno chwant
bwyd.
19 A phan welodd efe † ffigysbren ar y
ffordd, efe a ddaeth atto, ac ni chafodd
ddim arno, ond dail yn unig: ac *efe* a ddy-
wedodd wrtho, Na thyfed ffrwyth arnat byth
mwyach. Ac yn ebrwydd y crinodd y ffigy-
sbren.
20 A phan welodd y disgyblion, hwy a
ryfeddasant, gan ddywedyd, Mor ddisym-
mwth y crinodd y ffigysbren!
21 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, Yn wir meddaf i chwi, [p] Os bydd
gennych ffydd, ac [q] heb ammeu, ni wnewch
yn unig hyn *a wnaethum i* i'r ffigysbren,
eithr hefyd os dywedwch wrth y mynydd
hwn, Coder di i fynu, a bwrier di i'r môr;
hynny a fydd.
22 A [r] pha beth bynnag a ofynoch
mewn gweddi, gan gredu, chwi a'i der-
byniwch.
23 ¶ [s] Ac wedi ei ddyfod ef i'r deml,
yr arch-offeiriaid a henuriaid y bobl a

[c] Esay 62. 11. Zech. 9. 9. Ioan 12. 15. [d] Marc 11. 2. [e] 2 Bren. 9. 13. [f] Ioan 12. 13. 1 Mac. 13. 51, &c. 2 Mac. 10. 7. [g] Psal. 118. 26. Pen. 23. 39. [h] Marc 11. 15. Luc 19. 45. Ioan 2. 13, 15. [i] Pen. 2. 23. [k] Esay 56. 7. [l] Jer. 7. 11. Marc 11. 17. Luc 19. 46. [m] Psal. 8. 2. [n] Ioan 11. 18. [o] Marc 11. 12. † Gr. *un ffigysbren.* [p] Pen. 17. 20. Luc 17. 6. [q] Iago 1. 6. [r] Pen. 7. 7. Marc 11. 24. Luc 11. 9. 1 Ioan 3. 22. a 5. 14. [s] Marc 11. 27. Luc 20. 1.

ddaethant atto fel yr oedd efe yn athraw-
[t] Exod. 2. iaethu, [t] gan ddywedyd, Trwy ba awdurdod
14. yr wyt ti yn gwneuthur y pethau hyn? a
Act. 4. 7. phwy a roddes i ti yr awdurdod hon?
a 7. 27. 24 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, Minnau a ofynaf i chwithau un
gair, yr hwn os mynegwch i mi, minnau a
fynegaf i chwithau trwy ba awdurdod yr
wyf yn gwneuthur y pethau hyn.
25 Bedydd Ioan, o ba le yr oedd? ai o'r
nef, ai o ddynion? A hwy a ymresymma-
sant yn eu plith eu hunain, gan ddywedyd,
Os dywedwn, O'r nef; efe a ddywed
wrthym, Paham gan hynny na's credas-
och ef?
26 Ond os dywedwn, O ddynion; y mae
[u] Pen. 14. arnom ofn y bobl: [u] canys y mae pawb yn
5. cymmeryd Ioan megis prophwyd.
Marc 6. 20. 27 A hwy a attebasant i'r Iesu, ac a ddy-
wedasant, Ni wyddom ni. Ac yntau a ddy-
wedodd wrthynt, Nid wyf finnau yn dywe-
dyd i chwi trwy ba awdurdod yr wyf yn
gwneuthur y pethau hyn.
28 ¶ Ond beth dybygwch chwi? Yr oedd
gan wr ddau fab: ac efe a ddaeth at y cyn-
taf, ac a ddywedodd, *Fy* mab, dos, gweithia
heddyw yn fy ngwinllan.
29 Ac yntau a attebodd ac a ddywedodd,
Nid af: ond wedi hynny efe a edifarhaodd,
ac a aeth.
30 A phan ddaeth efe at yr ail, efe a ddy-
wedodd yr un modd. Ac efe a attebodd ac
a ddywedodd, Myfi *a af*, arglwydd; ac nid
aeth efe.
31 Pa un o'r ddau a wnaeth ewyllys y
tad? Dywedasant wrtho, Y cyntaf. Yr Iesu
[x] Luc 7. a ddywedodd wrthynt, [x] Yn wir meddaf i
29, 30. chwi, yr â'r publicanod a'r putteiniaid i
mewn i deyrnas Dduw o'ch blaen chwi.
[y] Pen. 3. 8. 32 Canys [y] daeth Ioan attoch yn ffordd
[z] Luc 3. 12, cyfiawnder, ac ni chredasoch ef: [z] ond y
13. publicanod a'r putteiniaid a'i credasant ef.
Chwithau, yn gweled, nid edifarhasoch we-
di hynny, fel y credech ef.
33 ¶ Clywch ddammeg arall. Yr oedd
[a] Psal. 80. rhyw ddyn o berchen tŷ, [a] yr hwn a blan-
9. nodd winllan, ac a osododd gae yn ei chylch
Can. 8. 11. hi, ac a gloddiodd ynddi win-wryf, ac a
Esay 5. 1. adeiladodd dŵr, ac a'i gosododd hi allan i
Jer. 2. 21. lafurwŷr, ac [b] a aeth oddi cartref.
Marc 12. 1.
Luc 20. 9. 34 A phan nesaodd amser ffrwythau, efe
[b] Pen. 25 a ddanfonodd ei weision at y llafurwŷr, [c] i
14, 15. dderbyn ei ffrwythau hi.
[c] Can. 8. 35 A'r llafurwŷr a ddaliasant ei weision
11, 12. ef, ac un a gurasant, ac arall a laddasant, ac
arall a labyddiasant.
36 Trachefn, efe a anfonodd weision eraill,
fwy nâ'r rhai cyntaf: a hwy a wnaethant
iddynt yr un modd.
37 Ac yn ddiweddaf oll, efe a anfonodd
attynt ei fab ei hun; gan ddywedyd, Hwy
a barchant fy mab i.
38 A phan welodd y llafurwŷr y mab,
hwy a ddywedasant yn eu plith eu hun,
[d] Psal. 2. 8. [d] Hwn yw'r etifedd; [e] deuwch, lladdwn ef,
Heb. 1. 2. a daliwn ei etifeddiaeth ef.
[e] Pen. 26. 39 Ac wedi iddynt *ei* ddal, hwy a'i bwria-
3. a 27. 1. sant ef allan o'r winllan, ac a'*i* lladdasant.
Ioan 11. 53. 40 Am hynny pan ddêl arglwydd y
winllan, pa beth a wna efe i'r llafurwŷr
hynny?
[f] Edrych 41 [f] Hwy a ddywedasant wrtho, Efe a
Luc 20. 16. ddifetha yn llwyr y dynion drwg hynny,
ac a osyd y winllan i lafurwŷr eraill, y
rhai a dalant iddo y ffrwythau yn eu ham-
serau.

42 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, [g] Oni [g] Psal. 118.
ddarllenasoch chwi erioed yn yr ysgrythyr- 22.
au, Y maen a wrthododd yr adeiladwŷr, Act. 4. 11.
hwn a wnaethpwyd yn ben congl: gan yr
Arglwydd y gwnaethpwyd hyn, a rhyfedd
yw yn ein golwg ni?
43 Am hynny meddaf i chwi, [h] y dygir [h] Pen. 8.
teyrnas Dduw oddi arnoch chwi, ac a'i 12.
rhoddir i genedl a ddygo ei ffrwythau. [i] Esay 8.
44 [i] A phwy bynnag a syrthio ar y maen 14, 15. Zech. 12. 3.
hwn, efe a ddryllir: ac ar bwy bynnag y Luc 20. 18.
syrthio, [k] efe a'i mâl ef yn chwilfriw. Rhuf. 9. 33.
45 A phan glybu'r arch-offeiriaid a'r Pha- 1 Petr 2. 7. [k] Esay 60.
riseaid ei ddamhegion ef, hwy a wybuant 12.
mai am danynt hwy y dywedai efe. Dan. 2. 34.
46 Ac a hwy yn ceisio ei ddala, hwy a
ofnasant y torfeydd; am eu bod [l] yn ei [l] Luc 7. 16.
gymmeryd ef fel prophwyd. Ioan 7. 40.

## PEN. XXII.

1 *Dammeg priodas mab y brenhin.* 9 *Galw-
edigaeth y Cenhedloedd.* 12 *Cospedigaeth
yr hwn nid oedd ganddo y wisg brïodas.*
15 *Y dylid talu teyrn-ged i Cesar.* 23 *Crist
yn cau safnau'r Saduceaid ynghylch yr ad-
gyfodiad:* 34 *yn atteb y cyfreithiwr, pa un
yw y gorchymyn cyntaf, a'r mawr;* 41 *ac
yn holi'r Phariseaid ynghylch y Messïas.*

A'R Iesu a attebodd, [a] ac a lefarodd 33.
wrthynt drachefn mewn damhegion, [a] Luc 14.
gan ddywedyd, 16.
2 Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i ryw fren- Dat. 19. 7.
hin a wnaeth brïodas i'w fab, 9.
3 Ac a ddanfonodd ei weision i alw y
rhai a wahoddasid i'r brïodas: ac ni fyn-
nent hwy ddyfod.
4 Trachefn efe a anfonodd weision eraill,
gan ddywedyd, Dywedwch wrth y rhai a
wahoddwyd, Wele, parottoais fy nghiniaw:
[b] fy ychen a'*m* pasgedigion a laddwyd, a [b] Diar. 9.
phob peth *sydd* barod: deuwch i'r brïodas. 2.
5 A hwy yn ddiystyr ganddynt, a aeth-
ant ymaith, un i'w faes, ac arall i'w fas-
nach:
6 A'r lleill a ddaliasant ei weision ef, ac
a'*u* hammharchasant, ac a'*u* lladdasant.
7 A phan glybu'r brenhin, efe a lidiodd;
ac a ddanfonodd [c] ei luoedd, ac a ddinystr- [c] Dan. 9.
iodd y lleiddiaid hynny, ac a losgodd eu di- 26.
nas hwynt.
8 Yna efe a ddywedodd wrth ei weision,
Yn wir y brïodas sydd barod, ond y rhai a
wahoddasid nid oeddynt deilwng.
9 Ewch gan hynny † i'r prif-ffyrdd, a † *i bennau*
chynnifer ag a gaffoch, gwahoddwch i'r *y ffyrdd.*
brïodas.
10 A'r gweision hynny a aethant allan i'r
*prif*-ffyrdd, ac [d] a gasglasant ynghŷd gyn- [d] Pen. 13.
nifer oll ag a gawsant, drwg a da: a llanw- 38, 47.
yd y brïodas o wahoddedigion.
11 ¶ A phan ddaeth y brenhin i mewn i
weled y gwahoddedigion, efe a ganfu yno
ddyn [e] heb wisg priodas am dano: [e] 1 Cor. 5.
12 Ac efe a ddywedodd wrtho, Y cyfaill, 3.
pa fodd y daethost i mewn yma, heb fod Eph. 4. 24.
gennyt wisg priodas? Ac yntau a aeth yn fud. Col. 3. 10, 12.
13 Yna y dywedodd y brenhin wrth y Dat. 3. 4. a 16. 15. a
gweinidogion, Rhwymwch ei draed a'i ddwy- 19. 8.
law, a chymmerwch ef ymaith, a theflwch
[f] i'r tywyllwch eithaf: yno y bydd wylo- [f] Pen. 8. 12.
fain a rhingcian dannedd.
14 [g] Canys llawer sydd wedi eu galw, ac [g] Pen. 20.
ychydig wedi eu dewis. 16.
15 ¶ Yna'r [h] aeth y Phariseaid, ac a [h] Marc 12.
gymmerasant gynghor pa fodd y rhwydent 13.
ef yn ei ymadrodd. Luc 20. 20.

16 A hwy a ddanfonasant atto eu disgyblion ynghŷd â'r Herodianiaid, gan ddywedyd, Athraw, ni a wyddom dy fod yn eirwir, ac yn dysgu ffordd Duw mewn gwirionedd, ac nad oes arnat ofal rhag neb: oblegid nid wyt ti yn edrych ar wyneb dynion.

17 Dywaid i ni gan hynny, Beth yr wyt ti yn ei dybied? Ai cyfreithlawn rhoddi teyrn-ged i Cesar, ai nid *yw?*

18 Ond yr Iesu a wybu eu drygioni hwy, ac a ddywedodd, Paham yr ydych yn fy nhemtio i, chwi ragrithwŷr?

19 Dangoswch i mi arian y deyrn-ged. A hwy a ddygasant atto geiniog.

20 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Eiddo pwy *yw* y ddelw hon a'r argraph?

21 Dywedasant wrtho, Eiddo Cesar. Yna y dywedodd wrthynt, [i] Telwch chwithau yr eiddo Cesar i Cesar, a'r eiddo Duw i Dduw.

22 A phan glywsant hwy *hyn*, rhyfeddu a wnaethant, a'i adael ef, a myned ymaith.

23 ¶ [k] Y dydd hwnnw y daeth atto y Sadduceaid, [l] y rhai sy'n dywedyd nad oes adgyfodiad, ac a ofynasant iddo,

24 Gan ddywedyd, Athraw, [m] dywedodd Moses, Os bydd marw neb heb iddo blant, prioded ei frawd ei wraig ef, a chyfoded had i'w frawd.

25 Ac yr oedd gyd â ni saith o frodyr: a'r cyntaf a briododd wraig, ac a fu farw; ac efe heb hiliogaeth iddo, a adawodd ei wraig i'w frawd.

26 Felly hefyd yr ail, a'r trydydd, hyd y † seithfed.

27 Ac yn ddiweddaf oll bu farw y wraig hefyd.

28 Yn yr adgyfodiad, gan hynny, gwraig i bwy o'r saith fydd hi? canys hwynt-hwy oll a'i cawsant hi.

29 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Yr ydych yn cyfeiliorni, gan na wyddoch yr ysgrythyrau, na gallu Duw.

30 Oblegid yn yr adgyfodiad nid ydynt nac yn gwreicca, nac yn gŵra; eithr [n] y maent fel angylion Duw yn y nef.

31 Ac am adgyfodiad y meirw, oni ddarllenasoch yr hyn a ddywedwyd wrthych gan Dduw, gan ddywedyd,

32 [o] Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob? Nid yw Duw Dduw y *rhai* meirw, ond y *rhai* byw.

33 A phan glybu y torfeydd *hynny*, [p] hwy a synnasant wrth ei athrawiaeth ef.

34 ¶ [q] Ac wedi clywed o'r Phariseaid ddarfod i'r *Iesu* ostegu'r Sadduceaid, hwy a ymgynnullasant ynghŷd i'r un lle.

35 Ac un o honynt, *yr hun oedd* gyfreithiwr, a ofynodd *iddo*, gan ei demtio, a dywedyd,

36 Athraw, pa un *yw*'r gorchymyn mawr yn y gyfraith?

37 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, [r] Ceri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl.

38 Hwn yw'r cyntaf, a'r gorchymyn mawr.

39 A'r ail *sydd* gyffelyb iddo; [s] Câr dy gymmydog fel ti dy hun.

40 [t] Ar y ddau orchymyn hyn y mae'r holl gyfraith a'r prophwydi yn sefyll.

41 ¶ Ac [u] wedi ymgasglu o'r Phariseaid ynghŷd, yr Iesu a ofynodd iddynt,

42 Gan ddywedyd, Beth a dybygwch chwi am Grist? mab i bwy ydyw? Dywedent wrtho, *Mab* Dafydd.

43 Dywedai yntau wrthynt, Pa fodd gan hynny y mae Dafydd yn yr yspryd [x] yn ei alw ef yn Arglwydd, gan ddywedyd,

44 [y] Dywedodd yr ARGLWYDD wrth fy Arglwydd, Eistedd ar fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn droed-faingc i'th draed di?

45 Os yw Dafydd gan hynny yn ei alw ef yn Arglwydd, pa fodd y mae efe yn fab iddo?

46 Ac nid allodd neb atteb gair iddo, ac ni feiddiodd neb o'r dydd hwnnw allan ymofyn ag ef mwyach.

[i] Pen. 7. 25. Rhuf. 13. 7.
[k] Marc 12. 18. Luc 20. 27.
[l] Act. 23. 8.
[m] Deut. 25. 5.
† Gr. *saith.*
[n] Ioan 3. 2.
[o] Exod. 3. 6. 16. Marc 12. 26. Luc 20. 37. Act. 7. 32. Heb. 11. 16.
[p] Pen. 7. 28.
[q] Marc 12. 28.
[r] Deut. 6. 5. a 10. 12. a 30. 6. Luc 10. 27.
[s] Lef. 19. 18. Marc 12. 31. Rhuf. 13. 9. Gal. 5. 14. Iago 2. 8.
[t] Pen. 7. 12.
[u] Marc 12. 35. Luc 20. 41.
[x] Eccl. 10.
[y] Psal. 110. 1. Act. 2. 34. 1 Cor. 15. 25. Heb. 1. 13. a 10. 12, 13.

## PEN. XXIII.

*1 Crist yn rhybuddio'r bobl i ddilyn athrawiaeth dda, ac nid esamplau drwg yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid. 5 Rhaid i ddisgyblion Crist ochelyd eu rhyfyg hwy. 13 Mae efe yn cyhoeddi wyth wae yn erbyn eu rhagrith a'u dallineb hwy; 34 ac yn prophwydo dinystr Jerusalem.*

YNA y llefarodd yr Iesu wrth y torfeydd a'i ddisgyblion,

2 Gan ddywedyd, † Ynghadair Moses yr eistedd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid.

3 Yr hyn oll gan hynny a ddywedant wrthych am eu cadw, cedwch a gwnewch; eithr yn ol eu gweithredoedd na wnewch: canys [a] dywedant, ac ni's gwnant.

4 [b] Oblegid y maent yn rhwymo beichiau trymion ac anhawdd eu dwyn, ac yn *eu* gosod ar ysgwyddau dynion; ond nid ewyllysiant eu syflyd hwy ag un o'u bysedd.

5 Ond [c] y maent yn gwneuthur eu holl weithredoedd er mwyn eu gweled gan ddynion: [d] *canys* y maent yn gwneuthur yn llydain eu phylacterau, ac yn gwneuthur ymylwaith eu gwisgoedd yn helaeth;

6 A [e] charu *y maent* y lle uchaf mewn gwleddoedd, a'r prif-gadeiriau yn y synagogau,

7 A chyfarch yn y marchnadoedd, a'u galw gan ddynion, Rabbi, Rabbi.

8 [f] Eithr na'ch galwer chwi Rabbi: canys un yw eich Athraw chwi, *sef* Crist; a chwithau oll brodyr ydych.

9 Ac na elwch neb yn dad i chwi ar y ddaear: [g] canys un Tad sydd i chwi, yr hwn sydd yn y nefoedd.

10 Ac na'ch galwer yn athrawon: canys un yw eich Athraw chwi, *sef* Crist.

11 [h] A'r mwyaf o honoch a fydd yn weinidog i chwi.

12 A [i] phwy bynnag a'i dyrchafo ei hun, a ostyngir; a phwy bynnag a'i gostyngo ei hun, a ddyrchefir.

13 ¶ Eithr [k] gwae chwi, ysgrifenyddion a Phariseaid, ragrithwŷr: canys yr ydych yn cau teyrnas nefoedd o flaen dynion: canys chwi nid ydych yn myned i mewn, a'r rhai sy'n myned i mewn ni's gadêwch i fyned i mewn.

14 Gwae chwi, ysgrifenyddion a Phariseaid, ragrithwŷr; canys [l] yr ydych yn llwyr-fwytta tai gwragedd gweddwon, a hynny yn rhith hir weddio: am hynny y derbyniwch farn fwy.

15 Gwae chwi, ysgrifenyddion a Phariseaid, ragrithwŷr: canys amgylchu yr ydych y môr a'r tir, i wneuthur un proselyt; ac wedi y gwneler, yr ydych yn ei wneuthur ef yn fab uffern yn ddau mwy nâ chwi eich hunain.

16 Gwae chwi, dywysogion [m] deillion, y rhai ydych yn dywedyd, [n] Pwy bynnag a dwng i'r deml, nid yw ddim; ond pwy

33.
† Marc 12. 38. Luc 20. 45.
[a] Rhuf. 2. 19.
[b] Luc 11. 46. Act. 15. 10. Gal. 6. 13.
[c] Pen. 6. 1, 2, 5, 16.
[d] Num. 15. 38. Deut. 6. 8. a 22. 12.
Diar. 3. 3.
[e] Marc 12. 38, 39. 3 Ioan 9.
[f] Iago 3. 1. 2 Cor. 1. 24. 1 Petr 5. 3.
[g] Mal. 1. 6.
[h] Pen. 20. 26, 27.
[i] Diar. 29. 23. Luc 14. 11. a 18. 14. Iago 4. 6. 1 Petr 5. 5.
[k] Luc 11. 52.
[l] Marc 12. 40. Luc 20. 47. 2 Tim. 3. 6. Tit. 1. 11.
[m] Pen. 15. 14.
[n] Pen. 5. 33, 34.

bynnag a dwng i aur y deml, y mae efe
mewn dyled.
17 Ffyliaid, a deillion: canys pa un sydd
fwyaf, yr aur, ai 'r deml sydd yn sancteidd-
io 'r aur?
18 A phwy bynnag a dwng i 'r allor, nid
yw ddim; ond pwy bynnag a dyngo i 'r
rhodd sydd arni, y mae efe † mewn dyled.
† yn rhwym. 19 Ffyliaid, a deillion: canys pa un fwyaf,
[o] Exod. 29. 37. y rhodd, ai 'r [o] allor sydd yn sancteiddio 'r
rhodd?
20 Pwy bynnag gan hynny a dwng i 'r
allor, sydd yn tyngu iddi, ac i 'r hyn oll
*sydd* arni.
21 A phwy bynnag a dwng i 'r deml, sydd
[p] 1 Bren. 8. 13. 2 Chron. 6. 2. yn tyngu iddi, ac [p] i 'r hwn sydd yn pre-
swylio ynddi.
22 A'r hwn a dwng i 'r nef, sydd yn tyngu
[q] Pen. 5. 34. Act. 7. 49. i [q] orsedd-faingc Duw, ac i 'r hwn sydd yn
eistedd arni.
23 Gwae chwi, ysgrifenyddion a Phari-
[r] Luc 11. 42. seaid, ragrithwŷr: [r] canys yr ydych yn de-
gymmu y mintys, a'r anis, a'r cwmin, ac
[s] 1 Sam. 15. 22. Hos. 6. 6. Michah 6. 8. Pen. 9. 13. a 12. 7. [s] a adawsoch heibio y pethau trymmach o'r
gyfraith, barn, a thrugaredd, a ffydd: rhaid
oedd wneuthur y pethau hyn, ac na adewid
y lleill heibio.
24 Tywysogion deillion, y rhai ydych yn
hidlo gwybedyn, ac yn llyngcu camel.
25 Gwae chwi, ysgrifenyddion a Phari-
[t] Marc 7. 4. Luc 11. 39. seaid, ragrithwŷr: [t] canys yr ydych yn
glanhâu 'r tu allan i'r cwppan a'r ddysgl,
ac o'r tu mewn y maent yn llawn o drawsedd
ac anghymmedroldeb.
26 *Ti* Pharisead dall, glanhâ yn gyntaf
yr hyn *sydd* oddi fewn i'r cwppan a'r ddysgl,
fel y byddo yn lân hefyd yr hyn sydd oddi
allan iddynt.
[u] Luc 11. 44. 27 [u] Gwae chwi, ysgrifenyddion a Phari-
seaid, ragrithwŷr: canys tebyg ydych chwi
i feddau wedi eu gwynnu, y rhai sydd yn
ymddangos yn dêg oddi allan, ond oddi
mewn sydd yn llawn o esgyrn y meirw, a
phob aflendid.
28 Ac felly chwithau oddi allan ydych yn
ymddangos i ddynion yn gyfiawn, ond o
fewn yr ydych yn llawn rhagrith ac an-
wiredd.
[x] Luc 11. 47. 29 [x] Gwae chwi, ysgrifenyddion a Pha-
riseaid, ragrithwŷr: canys yr ydych yn
adeiladu beddau 'r prophwydi, ac yn add-
urno beddau y rhai cyfiawn;
30 Ac yr ydych yn dywedyd, Pe buasem ni
yn nyddiau ein tadau, ni buasem ni gyfran-
nogion â hwynt yngwaed y prophwydi.
31 Felly yr ydych yn tystiolaethu am dan-
[y] Act. 7. 51, 52. 1 Thess. 2. 15. och eich hunain, [y] eich bod yn blant i 'r
rhai a laddasant y prophwydi.
32 [z] Cyflawnwch chwithau hefyd fesur
[z] Gen. 15. 16. 1 Thess. 2. 16. eich tadau.
33 Oh seirph, [a] hiliogaeth gwiberod, pa
fodd y gellwch ddïangc rhag barn uffern?
34 ¶ Am hynny wele, yr ydwyf yn anfon
[a] Pen. 3. 7. a 12. 34. attoch brophwydi, a doethion, ac ysgrifen-
yddion: [b] a *rhai* o honynt a leddwch, ac a
[b] Act. 5. 40. a 22. 19. groes-hoeliwch; [c] a *rhai* o honynt a ffre-
[c] Pen. 10. 17. 2 Cor. 11. 24, 25. wyllwch yn eich synagogau, ac a erlidiwch o
dref i dref.
35 Fel y delo arnoch chwi yr holl waed
cyfiawn a'r a ollyngwyd ar y ddaear, [d] o
[d] Gen. 4. 8. waed Abel gyfiawn hyd [e] waed Zecharïas
[e] 2 Chron. 24. 20, 21. fab Barachïas, yr hwn a laddasoch rhwng y
deml a'r allor.
‡ yr oes hon. 36 Yn wir meddaf i chwi, Daw hyn oll ar
‡ y genhedlaeth hon.
[f] Luc 13. 34. 37 [f] Jerusalem, Jerusalem, yr *hon* wyt
yn lladd y prophwydi, ac [g] yn llabyddio y [g] 2 Chron. 24. 21.
rhai a ddanfonir atti, pa sawl gwaith y
mynnaswn [h] gasglu dy blant ynghŷd, megis [h] 2 Esd. 1. 30.
y casgl iar ei chywion [i] dan ei hadenydd, ac [i] Psal. 17. 8. a 91. 4.
ni's mynnech!
38 Wele, yr ydys yn gadael eich tŷ i
chwi yn anghyfannedd.
39 Canys meddaf i chwi, Ni'm gwelwch
ar ol hyn, hyd oni ddywedoch, [k] Bendige- [k] Psal. 118. 26. Pen. 21. 9.
dig *yw* yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Ar-
glwydd.

## PEN. XXIV.

*1 Crist yn rhag-ddywedyd dinystr y deml:
3 pa fath a pha faint o gystuddiau a fydd
o'r blaen. 29 Arwyddion ei ddyfodiad ef
i farn. 36 Ac o ran bod y dydd a'r awr
yn anhyspys, 42 y dylem ni wylied fel
gweision da, yn disgwyl bob amser am ddy-
fodiad ein meistr.*

A'R [a] Iesu a aeth allan, ac a ymadawodd 33.
o'r deml: a'i ddisgyblion a ddaethant [a] Marc 13. 1.
*atto*, i ddangos iddo adeiladau y deml. Luc 21. 5.
2 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Oni
welwch chwi hyn oll? Yn wir meddaf i
chwi, [b] Ni adewir yma garreg ar garreg, ar [b] Michah 3. 12.
ni ddattodir. Luc 19. 44.
3 ¶ Ac efe yn eistedd ar fynydd yr Ole-
wŷdd, y disgyblion a ddaethant atto o'r neill-
du, gan ddywedyd, Mynega i ni, pa bryd y
bydd y pethau hyn? a pha arwydd *fydd* o'th
ddyfodiad, ac o ddiwedd y byd?
4 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, [c] Edrychwch rhag i neb eich twyllo [c] Eph. 5. 6.
chwi. Col. 2. 8, 18.
5 Canys [d] daw llawer yn fy enw i, gan 2 Thess. 2.
ddywedyd, Myfi yw Crist; ac a dwyllant 3.
lawer. 1 Ioan 4. 1.
6 A chwi a gewch glywed am ryfeloedd, [d] Jer. 14.
a son am ryfeloedd: gwelwch na chyffröer 14. a 23. 25.
chwi: canys rhaid *yw* bod *hyn* oll; eithr Ioan 5. 43.
nid yw y diwedd etto.
7 Canys [e] cyfyd cenedl yn erbyn cenedl, [e] 2 Chron.
a theyrnas yn erbyn teyrnas: ac fe fydd 15. 6.
newyn, a nodau, a daear-grynfaau mewn Hag. 2. 22.
mannau. Zech. 14. 13.
8 A dechreuad gofidiau *yw* hyn oll.
9 [f] Yna y'ch traddodant chwi i'ch gor- [f] Pen. 10.
thrymmu, ac a'ch lladdant: a chwi a gasêir 17.
gan yr holl genhedloedd er mwyn fy enw i. Marc 13. 9. Luc 21. 12.
10 Ac yna y rhwystrir llawer, ac y bra- Ioan 15. 20,
dychant eu gilydd, ac y casânt eu gilydd. a 16. 2.
11 [g] A gau-brophwydi lawer a godant, Dat. 2. 10.
ac a dwyllant lawer. [g] 2 Petr 2. 1.
12 Ac o herwydd yr amlhâ anwiredd, fe
a oera cariad llawer.
13 Eithr [h] y neb a barhao hyd y diwedd, [h] Pen. 10.
hwnnw a fydd cadwedig. 22.
14 A'r [i] efengyl hon *am* y deyrnas [k] a Marc 13. 13.
bregethir trwy 'r holl fyd, er tystiolaeth i'r Heb. 3. 6,
holl genhedloedd: ac yna y daw y diwedd. 14.
15 [l] Am hynny pan weloch y ffieidd-dra [i] Pen. 4. 23.
anghyfanneddol, a ddywedwyd trwy [m] Dda- a 9. 35.
niel brophwyd, yn sefyll yn y lle sanctaidd, [k] Rhuf. 10. 18.
(y neb a ddarlleno, ystyried) Col. 1. 6.
16 Yna y rhai a fyddant yn Judea, ffoant [l] Marc 13.
i 'r mynyddoedd. 14.
17 Y neb *a fyddo* ar ben y tŷ, na ddisgy- Luc 21. 20.
ned i gymmeryd dim allan o'i dŷ: [m] Dan. 9.
18 A'r hwn *a fyddo* yn y maes, na 27. a 12. 11.
ddychweled yn ei ol i gymmeryd ei ddi-
llad.
19 A gwae y rhai beichiogion, a'r rhai
yn rhoi bronnau, yn y dyddiau hynny.
20 Eithr gweddïwch na byddo eich ffoëd-
igaeth y gauaf, nac ar y *dydd* sabbath:

n Dan. 9. 21 Canys n y pryd hwnnw y bydd gor-
26. a 12. 1. thrymder mawr, y fath ni bu o ddechreu'r
byd hyd yr awr hon, ac ni bydd chwaith.
22 Ac oni bai fyrhau'r dyddiau hynny,
ni buasai gadwedig un cnawd oll: eithr er
mwyn yr etholedigion fe fyrhëir y dyddiau
hynny.
o Marc 13. 23 o Yna os dywed neb wrthych, Wele,
21. † llyma Grist, neu llyma; na chredwch.
Luc 17. 23. a 21. 8. 24 Canys p cyfyd gau-Gristiau, a gau-
† *dyma* brophwydi, ac a roddant arwyddion maw-
*Grist, neu,* rion a rhyfeddodau, hyd oni thwyllant,
*dyma.* q pe *byddai* bosibl, ie, yr etholedigion.
p Deut. 13. 25 Wele, rhag-ddywedais i chwi.
1. 2 Thess. 2. 26 Am hynny os dywedant wrthych,
9, 10, 11. Wele, y mae efe yn y diffaethwch; nac
Dat. 13. 13. ewch allan: wele, yn yr ystafelloedd; na
q Ioan 6. 37. chredwch.
a 10. 28, 29. 27 Oblegid fel y daw y fellten o'r dwy-
Rhuf. 8. 28, 29, 30. rain, ac y tywyna hyd y gorllewin; felly
2 Tim. 2. hefyd y bydd dyfodiad Mab y dyn.
19. 28 r Canys pa le bynnag y byddo'r ge-
r Job 39. 30. Luc 17. 37. lain, yno'r ymgasgl yr eryrod.
29 ¶ Ac yn y fan wedi gorthrymder y
s Esay 13. dyddiau hynny, s y tywyllir yr haul, a'r
10. lleuad ni rydd ei goleuni, a'r sêr a syrth
Ezec 32. 7. Joel 2. 10, o'r nef, a nerthoedd y nefoedd a ysgyd-
31. a 3. 15. wir.
Marc 13. 30 Ac yna yr ymddengys arwydd Mab y
24. Luc 21. 25. dyn yn y nef: ac yna y galara holl lwythau'r
Act. 2. 20. ddaear, a t hwy a welant Fab y dyn yn dy-
Dat. 6. 12. fod ar gymmylau'r nef gyd â nerth a gogo-
t Dat. 1. 7. niant mawr.
u Pen. 13. 31 Ac u efe a ddenfyn ei angylion ‡ â
41. mawr sain udgorn; a hwy a gasglant ei
1 Cor. 15. 52. etholedigion ef ynghŷd o'r pedwar gwynt, o
1 Thess. 4. eithafoedd y nefoedd hyd eu heithafoedd
16. hwynt.
‡ *Neu, ag udcorn a sain mawr.* 32 Ond dysgwch x ddammeg oddi wrth
y ffigysbren; Pan yw ei gangen eisoes yn
dyner, a'i ddail yn torri allan, chwi a wydd-
x Luc 21. och *fod* yr haf yn agos:
29. 33 Ac felly chwithau, pan weloch hyn
y Iago 5. 9. oll, gwybyddwch y ei fod yn agos, wrth y
drysau.
34 Yn wir meddaf i chwi, Nid â'r ge-
nhedlaeth hon heibio, hyd oni wneler hyn
oll.
z Psal. 102. 35 z Nef a daear a ant heibio, eithr fy
26. Esay 51. 6. ngeiriau i nid ant heibio ddim.
Pen. 5. 18. 36 ¶ Ond am y dydd hwnnw a'r awr ni's
Marc 13. gŵyr neb, nac angylion y nefoedd, a ond fy
31. Nhad yn unig.
Heb. 1. 11. 37 Ac fel *yr oedd* dyddiau Noë, felly he-
a Zech. 14. 7. fyd y bydd dyfodiad Mab y dyn.
Marc 13. 32. 38 b Oblegid fel yr oeddynt yn y dyddiau
b Gen. 6. 3, ym mlaen y diluw yn bwytta ac yn yfed, yn
4, 5. a 7. 5. priodi ac yn rhoi i brïodas, hyd y dydd yr
Luc 17. 26. 1 Petr 3. 20. aeth Noë i mewn i'r arch,
39 Ac ni wybuant hyd oni ddaeth y di-
luw, a'u cymmeryd hwy oll ymaith; felly
hefyd y bydd dyfodiad Mab y dyn.
c Luc 17. 40 c Yna y bydd dau yn y maes; y naill
34, &c. a gymmerir, a'r llall a adewir.
41 Dwy *a fydd* yn malu mewn melin; un
d Pen. 25. a gymmerir, a'r llall a adewir.
13. Marc 13. 42 ¶ d Gwyliwch gan hynny; am na
33, &c. wyddoch pa awr y daw eich Arglwydd.
Luc 21. 36. 43 A e gwybyddwch hyn, pe gwybuasai
e Luc 12. gwr y tŷ pa wyliadwriaeth y deuai'r lleidr,
39. 1 Thess. 5. efe a wyliasai, ac ni adawsai gloddio ei dy
2. trwodd.
2 Petr 3. 10. 44 Am hynny byddwch chwithau barod:
Dat. 3. 3. a 16. 15. canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y
f Luc 12. dyn.
42. 45 f Pwy gan hynny sydd was ffyddlon
a doeth, yr hwn a osododd ei arglwydd ar ei
deulu, i roddi bwyd iddynt mewn prŷd?
46 g Gwyn ei fyd y gwas hwnnw, yr g Dat. 16.
hwn y caiff ei Arglwydd ef, pan ddelo, yn 15.
gwneuthur felly.
47 Yn wir meddaf i chwi, h Ar ei holl h Pen. 25.
ddâ y gesyd efe ef. 21, 23.
48 Ond os dywed y gwas drwg hwnnw
yn ei galon, Y mae fy Arglwydd yn oedi
dyfod;
49 A dechreu curo *ei* gyd-weision, a
bwytta ac yfed gyd â'r meddwon;
50 Arglwydd y gwas hwnnw a ddaw yn
y dydd nid yw efe yn disgwyl am *dano*, ac
mewn awr ni's gŵyr efe;
51 Ac efe a'i gwahana ef, ac a esyd ei ran
ef gyd â'r rhagrithwŷr: i yno y bydd wylo- i Pen. 8. 12.
fain a rhingcian dannedd. a 25. 40.

## PEN. XXV.

1 *Dammeg y deg morwyn;* 14 *a'r talentau;*
31 *a dull y farn ddiweddaf.*

YNA tebyg fydd teyrnas nefoedd i ddeg 33.
o forwynion, y rhai a gymmerasant eu
lampau, ac a aethant allan i gyfarfod â'r
priod-fab.
2 A phump o honynt oedd gall, a phump
yn ffol.
3 Y rhai oedd ffol a gymmerasant eu
lampau, ac ni chymmerasant olew gyd â
hwynt:
4 A'r rhai call a gymmerasant olew yn eu
llestri gyd â'u lampau
5 A thra'r oedd y priod-fab yn aros yn
hir, yr hepiasant oll ac yr hunasant.
6 Ac ar hanner nos y bu gwaedd, Wele,
y mae'r priod-fab yn dyfod; ewch allan i
gyfarfod ag ef.
7 Yna y cyfododd yr holl forwynion
hynny, ac a drwsiasant eu lampau.
8 A'r rhai ffol a ddywedasant wrth y rhai
call, Rhoddwch i ni o'ch olew chwi: canys
y mae ein lampau † yn diffoddi. † *wedi diffoddi.*
9 A'r rhai call a attebasant, gan ddywe-
dyd, *Nid felly;* rhag na byddo digon i ni ac
i chwithau: ond ewch yn hytrach at y rhai
sydd yn gwerthu, a phrynwch i chwi eich
hunain.
10 A thra'r oeddynt yn myned ymaith i
brynu, daeth y priod-fab; a'r rhai oedd ba-
rod, a aethant i mewn gyd ag ef i'r brïodas:
a a chauwyd y drws. a Luc 13.
11 Wedi hynny y daeth y morwynion 25.
eraill hefyd, gan ddywedyd, Arglwydd, Ar-
glwydd, agor i ni.
12 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd,
Yn wir meddaf i chwi, b Nid adwaen b Pen. 7.
chwi. 21, 22, 23.
13 c Gwyliwch gan hynny; am na wydd- c Pen. 24.
och na'r dydd na'r awr y daw Mab y dyn. 42. Marc 13. 33.
14 ¶ d Canys *y mae teyrnas nefoedd* e fel Luc 21. 36.
dyn yn myned i wlad ddïeithr, yr hwn 1 Cor. 16.
a alwodd ei weision, ac a roddes ei ddâ 13. 1 Thess. 5.
attynt. 6.
15 Ac i un y rhoddodd efe bùm talent, ac 1 Petr 5. 8.
i arall ddwy, ac i arall un, i bob un yn ol Dat. 16. 15.
ei allu ei hun; ac yn y fan efe a aeth oddi d Luc 19.
cartref. 12.
16 A'r hwn a dderbyniasai'r pum talent e Pen. 21.
a aeth, ac a farchnattaodd â hwynt, ac a 33.
wnaeth bùm talent eraill.
17 A'r un modd yr hwn *a dderbyniasai'r*
ddwy, a ynnillodd yntau ddwy eraill.
18 Ond yr hwn a dderbyniasai un, a aeth
ac a gloddiodd yn y ddaear, ac a guddiodd
arian ei arglwydd.

19 Ac wedi llawer o amser, y mae arglwydd y gweision hynny yn dyfod, ac yn cyfrif â hwynt.

20 A daeth yr hwn a dderbyniasai bùm talent, ac a ddug bùm talent eraill, gan ddywedyd, Arglwydd, pum talent a roddaist attaf: wele, mi a ynnillais bùm talent eraill attynt.

21 A dywedodd ei arglwydd wrtho, Da, was da a ffyddlon: buost ffyddlon ar ychydig, [f] mi a'th osodaf ar lawer: dos i mewn i [g] lawenydd dy arglwydd.

22 A'r hwn a dderbyniasai ddwy dalent a ddaeth, ac a ddywedodd, Arglwydd, dwy dalent a roddaist attaf: wele, dwy eraill a ynnillais attynt.

23 Ei arglwydd a ddywedodd wrtho, [h] Da, was da a ffyddlon: buost ffyddlon ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer: dos i mewn i lawenydd dy arglwydd.

24 A'r hwn a dderbyniasai'r un talent a ddaeth, ac a ddywedodd, Arglwydd, mi a'th adwaenwn di, mai gwr caled ydwyt, yn medi lle ni's hauaist, ac yn casglu lle ni wasgeraist:

25 Ac mi a ofnais, ac a aethum, ac a guddiais dy dalent yn y ddaear: wele, yr wyt yn cael yr eiddot dy hun.

26 A'i arglwydd a attebodd ac a ddywedodd wrtho, O was drwg a diog, ti a wyddit fy mod yn medi lle ni's hauais, ac yn casglu lle ni's gwasgerais:

27 Am hynny y dylesit ti roddi fy arian at y cyfnewidwyr, a mi pan ddaethwn a gawswn dderbyn yr eiddof fy hun gyd â llog.

28 Cymmerwch gan hynny y dalent oddi wrtho, a rhoddwch i'r hwn sydd ganddo ddeg talent.

29 ([i] Canys i bob un y mae ganddo y rhoddir, ac efe a gaiff helaethrwydd; ac oddi ar yr hwn nid oes ganddo y dygir oddi arno, ïe, yr hyn sydd ganddo)

30 A bwriwch allan y gwas anfuddiol [k] i'r tywyllwch eithaf: yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd.

31 ¶ [l] A Mab y dyn pan ddêl yn ei ogoniant, a'r holl angylion sanctaidd gyd ag ef, yna yr eistedd ar orsedd-fainge ei ogoniant.

32 A [m] chyd-gesglir ger ei fron ef yr holl genhedloedd: ac [n] efe a'u didola hwynt oddi wrth eu gilydd, megis y didola'r bugail y defaid oddi wrth y geifr:

33 Ac a esyd y defaid ar ei ddeheu-law, ond y geifr ar yr aswy.

34 Yna y dywed y Brenhin wrth y rhai ar ei ddeheu-law, Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas [o] a barottowyd i chwi er seiliad y byd.

35 [p] Canys bûm newynog, a chwi a roisoch i mi fwyd: bu arnaf syched, a rhoisoch i mi ddïod: [q] bûm ddïeithr, a dygasoch fi gyd â chwi:

36 [r] Noeth, a dilladasoch fi: bûm glaf, ac ymwelsoch â mi: [s] bûm yngharchar, a daethoch attaf.

37 Yna yr ettyb y rhai cyfiawn iddo, gan ddywedyd, Arglwydd, pa bryd y'*th* welsom yn newynog, ac y'*th* borthasom? neu yn sychedig, ac y rhoisom i *ti* ddïod?

38 A pha bryd y'th welsom yn ddïeithr, ac y'*th* ddygasom gyd â ni? neu yn noeth, ac y'*th* ddilladasom?

39 A pha bryd y'th welsom yn glaf, neu yngharchar, ac y daethom attat?

f Pen. 24. 47. Luc 22. 29, 30.
g Heb. 12. 2.
h Adn. 21.
i Pen. 13. 12. Marc 4. 25. Luc 8. 18. a 19. 26.
k Pen. 8. 12. a 24. 51.
l Zech. 14. 5. Pen. 16. 27. 1 Thess. 4. 16. 2 Thess. 1. 7. Judas 14. Dat. 1. 7.
m Rhuf. 14. 10. 2 Cor. 5. 10.
n Ezec. 20. 37. a 34. 17, 20. Pen. 13. 49.
o Pen. 20. 23. Marc 10. 40.
p Esay 58. 7. Ezec. 18. 7. Iago 1. 27.
q Heb. 13. 2.
r Iago 2. 15, 16.
s 2 Tim. 1. 16.

40 A'r Brenhin a ettyb, ac a ddywed wrthynt, Yn wir meddaf i chwi, [t] Yn gymmaint a'*i* wneuthur o honoch i un o'r rhai hyn fy mrodyr lleiaf, i mi y gwnaethoch.

41 Yna y dywed efe hefyd wrth y rhai a fyddant ar y llaw aswy, [u] Ewch oddi wrthyf, rai melldigedig, [x] i'r tân tragywyddol, *yr hwn* a barottowyd i ddiafol ac i'w angylion.

42 Canys bûm newynog, ac ni roisoch i mi fwyd: bu arnaf syched, ac ni roisoch i mi ddïod:

43 Bûm ddïeithr, ac ni'm dygasoch gyd â chwi: noeth, ac ni'm dilladasoch: yn glaf, ac yngharchar, ac ni ymwelsoch â mi.

44 Yna yr attebant hwythau hefyd iddo, gan ddywedyd, Arglwydd, pa bryd y'th welsom yn newynog, neu yn sychedig, neu yn ddïeithr, neu yn noeth, neu yn glaf, neu yngharchar, ac ni weiniasom i ti?

45 Yna'r ettyb efe iddynt, gan ddywedyd, Yn wir meddaf i chwi, [y] Yn gymmaint ag na's gwnaethoch i'r un o'r rhai lleiaf hyn, ni's gwnaethoch i minnau.

46 A'r [z] rhai hyn a ant i gospedigaeth dragywyddol: ond y rhai cyfiawn i fywyd tragywyddol.

t Diar. 19. 17. Pen. 10. 42. Heb. 6. 10.
u Psal. 6. 8. Pen. 7. 23. Luc 13. 27.
x Pen. 13. 40.
y Diar. 14. 31. a 17. 5. Zech. 2. 8.
z Dan. 12. 2. Ioan 5. 29.

## PEN. XXVI.

3 *Y llywodracthwŷr yn cyd-fwriadu yn erbyn Crist.* 7 *Y wraig yn enneinio ei ben ef.* 14 *Judas yn ei werthu ef.* 17 *Crist yn bwytta'r pasg:* 26 *yn ordeinio ei supper sanctaidd:* 36 *yn gweddïo yn yr ardd:* 47 *ac wedi ei fradychu â chusan,* 57 *yn cael ei arwain at Caiaphas,* 69 *a'i wadu gan Petr.*

A Bu, wedi i'r Iesu orphen y geiriau hyn oll, efe a ddywedodd wrth ei ddisgyblion, 33.

2 [a] Chwi a wyddoch mai gwedi deuddydd y mae'r pasg, a Mab y dyn a draddodir i'w groes-hoelio.

3 [b] Yna yr ymgasglodd yr arch-offeiriaid, a'r ysgrifenyddion, a henuriaid y bobl, i lys yr arch-offeiriad, yr hwn a elwid Caiaphas:

4 A hwy a gyd-ymgynghorasant fel y dalient yr Iesu trwy ddichell, ac y lladdent *ef.*

5 Eithr hwy a ddywedasant, Nid ar yr wyl, rhag bod cynnwrf ym mhlith y bobl.

6 ¶ [c] Ac a'r Iesu yn [d] Bethania, yn nhŷ Simon y gwahan-glwyfus,

7 Daeth atto wraig a chanddi flwch o ennaint gwerthfawr, ac a'i tywalltodd ar ei ben, ac efe yn eistedd *wrth y ford.*

8 A phan welodd ei ddisgyblion, hwy a sorrasant, gan ddywedyd, I ba beth *y bu*'r golled hon?

9 Canys fe a allasid gwerthu'r ennaint hwn er llawer, a'i roddi i'r tlodion.

10 A'r Iesu a wybu, ac a ddywedodd wrthynt, Pa ham yr ydych yn gwneuthur blinder i'r wraig? canys hi a weithiodd weithred dda arnaf.

11 [e] Oblegid y mae gennych y tlodion bob amser gyd â chwi; a [f] mi nid ydych yn ei gael bob amser.

12 Canys hi yn tywallt yr ennaint hwn ar fy nghorph, a wnaeth *hyn* i'm claddu i.

13 Yn wir meddaf i chwi, Pa le bynnag y pregether yr efengyl hon yn yr holl fyd, mynegir yr hyn a wnaeth hi hefyd, er coffa am dani hi.

a Marc 14. 1. Luc 22. 1. Ioan 13. 1.
b Psal. 2. 2. Ioan 11. 47. Act. 4. 25, &c.
c Marc 14. 3. Ioan 11. 1, 2. a 12. 3.
d Pen. 21. 17.
e Deut. 15. 11. Ioan 12. 8.
f Pen. 18. 20. a 28. 20.

[g] Marc 14. 10. Luc 22. 3. 14 ¶ [g] Yna'r aeth un o'r deuddeg, yr
hwn a elwid [h] Judas Iscariot, at yr arch-
[h] Pen. 10. 4. offeiriaid,
15 Ac a ddywedodd *wrthynt*, [i] Pa beth a
[i] Zech. 11. 12. Pen. 27. 3. roddwch i mi, a mi a'i traddodaf ef i chwi?
A hwy a osodasant iddo ddeg ar hugain o
arian.
16 Ac o hynny allan y ceisiodd efe amser
cyfaddas i'w fradychu ef.
[k] Marc 14. 12. Luc 22. 7. 17 ¶ [k] Ac ar y *dydd* cyntaf o *wyl* y bara
croyw, y disgyblion a ddaethant at yr Iesu,
gan ddywedyd wrtho, Pa le y mynni i ni
barottôi i ti fwytta'r pasg?
18 Ac yntau a ddywedodd, Ewch i'r
† *hwn a hwn.* ddinas at † y cyfryw un, a dywedwch
wrtho, Y mae'r Athraw yn dywedyd, Fy
amser sydd agos: gyd â thi y cynhaliaf y
pasg, mi a'm disgyblion.
19 A'r disgyblion a wnaethant y modd y
gorchymynasai'r Iesu iddynt, ac a barot-
toisant y pasg.
[l] Marc 14. 18. Luc 21. 14. Ioan 13. 21. 20 [l] Ac wedi ei myned hi yn hwyr, efe a
eisteddodd gyd â'r deuddeg.
21 Ac fel yr oeddynt yn bwytta, efe a
ddywedodd, Yn wir yr wyf yn dywedyd
‡ *Neu, y bradycha un o honoch fi.* i chwi, ‡ mai un o honoch chwi a'm brady-
cha i.
22 A hwythau yn drist iawn, a ddechreu-
asant ddywedyd wrtho, bob un o honynt,
Ai myfi yw, Arglwydd?
23 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd,
[m] Psal. 41. 9. [m] Yr hwn a wlych *ei* law gyd â mi yn y
ddysgl, hwnnw a'm bradycha i.
24 Mab y dyn yn ddïau sydd yn myned,
fel y mae yn ysgrifenedig am dano: eithr
gwae'r dyn hwnnw trwy'r hwn y bradychir
Mab y dyn: da a fuasai i'r dyn hwnnw pe
na's ganesid ef.
25 A Judas, yr hwn a'i bradychodd ef, a
attebodd ac a ddywedodd, Ai myfi yw
*efe*, Athraw? Yntau a ddywedodd wrtho,
Ti a ddywedaist.
[n] Marc 14. 22. Luc 22. 19. 26 ¶ [n] Ac fel yr oeddynt yn bwytta, [o] yr
[o] 1 Cor. 11. 23, 24. Iesu a gymmerth y bara, ac wedi iddo § fen-
dithio, efe a'i torrodd, ac a'i rhoddodd i'r
§ *Neu, ddiolch.* disgyblion, ac a ddywedodd, Cymmerwch,
bwyttêwch: hwn yw fy nghorph.
27 Ac wedi iddo gymmeryd y cwppan, a
dïolch, efe a'i rhoddes iddynt, gan ddy-
wedyd, Yfwch bawb o hwn:
[p] Edrych Exod. 24. 8. 28 Canys hwn yw fy ngwaed [p] o'r testa-
ment newydd, yr hwn a dywelltir [q] dros
Jer. 31. 31. lawer, er maddeuant pechodau.
[q] Pen. 20. 28. Rhuf. 5. 15. 29 Ac [r] yr ydwyf yn dywedyd i chwi,
nad yfaf o hyn allan o ffrwyth hwn y
winwŷdden, hyd y dydd hwnnw pan yfwyf
[r] Luc 22. 18. ef gyd â chwi yn newydd yn nheyrnas fy
Nhad.
‖ *Neu, mawl, neu, psalm.* 30 Ac wedi iddynt ganu ‖ hymn, hwy a
aethant allan i fynydd yr Olewŷdd.
31 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt,
[s] Marc 14. 27. [s] Chwychwi oll [t] a rwystrir heno o'm plegid
Ioan 16. 32. i: canys ysgrifenedig yw, [u] Tarawaf y bu-
gail, a defaid y praidd a wasgerir.
[t] Pen. 11. 6. 32 Eithr wedi fy adgyfodi, [x] mi a af o'ch
blaen chwi i Galilea.
[u] Zech. 13. 7. 33 A Phetr a attebodd ac a ddywedodd
[x] Pen. 28. 7, 10, 16. wrtho, Pe rhwystrid pawb o'th blegid di,
*etto* ni'm rhwystrir i byth.
Marc 14. 28. a 16. 7. 34 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, [y] Yn wir
yr wyf yn dywedyd i ti, mai'r nos hon, cyn
[y] Ioan 13. 38. canu o'r ceiliog, y'm gwedi deirgwaith.
35 Petr a ddywedodd wrtho, Pe gor-
fyddai i mi farw gyd â thi, ni'th wadaf
ddim. Yr un modd hefyd y dywedodd yr
holl ddisgyblion.

36 ¶ [a] Yna y daeth yr Iesu gyd â hwynt [a] Marc 14. 32.
i fan a elwid Gethsemane, ac a ddywedodd Luc 22. 39.
wrth ei ddisgyblion, Eisteddwch yma, tra'r Ioan 18. 1.
elwyf a gweddïo accw.
37 Ac efe a gymmerth Petr, a [a] dau fab [a] Pen. 4. 21.
Zebedeus, ac a ddechreuodd dristâu ac
[b] ymofidio. [b] Ioan 12. 27.
38 Yna efe a ddywedodd wrthynt, Trist
iawn yw fy enaid hyd angau: arhoswch
yma, a gwyliwch gyd â mi.
39 Ac wedi iddo fyned ychydig ym
mlaen, efe a syrthiodd ar ei wyneb, [c] gan [c] Heb. 5. 7.
weddïo, a dywedyd, [d] Fy Nhad, os yw
bosibl, aed [e] y cwppan hwn heibio oddi [d] Ioan 12. 27.
wrthyf: etto nid fel yr ydwyf fi yn
ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti. [e] Pen. 20. 22.
40 Ac efe a ddaeth at y disgyblion, ac
a'u cafodd hwy yn cysgu; ac a ddywedodd
wrth Petr, Felly; oni ellych chwi wylied
un awr gyd â mi?
41 Gwyliwch a gweddïwch, fel nad eloch
i brofedigaeth. Yr yspryd yn ddïau *sydd*
yn barod, eithr y cnawd *sydd* wan.
42 Efe a aeth drachefn yr ail waith, ac a
weddïodd, gan ddywedyd, Fy Nhad, oni's
gall y cwppan hwn fyned heibio oddi
wrthyf, na byddo i mi yfed o hono,
gwneler dy ewyllys di.
43 Ac efe a ddaeth, ac a'u cafodd hwy
yn cysgu drachefn: canys yr oedd eu lly-
gaid hwy wedi trymhâu.
44 Ac efe a'u gadawodd hwynt, ac a aeth
ymaith drachefn, ac a weddïodd y drydedd
waith, gan ddywedyd yr un geiriau.
45 Yna y daeth efe at ei ddisgyblion, ac
a ddywedodd wrthynt, Cysgwch bellach,
a gorphwyswch: wele, y mae'r awr wedi
nesâu, a Mab y dyn a draddodir i ddwylaw
pechaduriaid.
46 Codwch, awn: wele nesaodd yr hwn
sydd yn fy mradychu.
47 ¶ Ac [f] efe etto yn llefaru, wele, Judas [f] Marc 14. 43.
un o'r deuddeg, a ddaeth, a chyd ag ef Luc 22. 47.
dyrfa fawr â chleddyfau a ffyn, oddi wrth Ioan 18. 3.
yr arch-offeiriaid a henuriaid y bobl.
48 A'r hwn a'i bradychodd ef a roisai
arwydd iddynt, gan ddywedyd, Pa un
bynnag a gusanwyf, hwnnw yw efe: de-
liwch ef.
49 Ac yn ebrwydd y daeth at yr Iesu, ac
a ddywedodd, Henffych well, Athraw; ac
a'i cusanodd ef.
50 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Y cyf-
aill, i ba beth y daethost? Yna y daethant,
ac y rhoisant ddwylaw ar yr Iesu, ac a'i da-
liasant ef.
51 Ac wele, [g] un o'r rhai oedd gyd â'r [g] Ioan 18. 10.
Iesu, a estynodd *ei* law, ac a dynnodd ei
gleddyf, ac a darawodd was yr arch-
offeiriad, ac a dorrodd ei glust ef.
52 Yna y dywedodd yr Iesu wrtho, Dy-
chwel dy gleddyf i'w le: [h] canys pawb [h] Gen. 9. 6.
a'r a gymmerant gleddyf, a ddifethir â Dat. 13. 10.
chleddyf.
53 A ydwyt ti yn tybied na's gallaf yr
awr hon ddeisyf ar fy Nhad, ac efe a rydd
yn y fan i mi fwy nâ deuddeg lleng o
angylion?
54 Pa fodd ynte y cyflawnid [i] yr ysgry- [i] Esay 53. 7, &c.
thyrau, mai felly y gorfydd bod? Luc 24. 25, 44, 46.
55 Yn yr awr honno y dywedodd yr Iesu
wrth y torfeydd, Ai megis at leidr y
daethoch chwi allan, â chleddyfau a ffyn
i'm dal i? yr oeddwn i beunydd gyd â
chwi yn eistedd yn dysgu yn y deml, ac
ni'm daliasoch.

k Galar. 4. 56 A hyn oll a wnaethpwyd, [k] fel y cyf-
20. lawnid ysgrythyrau 'r prophwydi. [l] Yna 'r
l Ioan 18. holl ddisgyblion a'i gadawsant ef, ac a
15. ffoisant.
m Marc 14. 57 ¶ [m] A'r rhai a ddaliasent yr Iesu, a'i
53. dygasant *ef* ymaith at Caiaphas yr arch-
Luc 22. 54. offeiriad, lle 'r oedd yr ysgrifenyddion a'r
Ioan 18. 12, henuriaid wedi ymgasglu ynghŷd.
13, 24. 58 A Phetr a'i canlynodd ef o hirbell,
hyd yn llys yr arch-offeiriad; ac a aeth i
mewn, ac a eisteddodd gyd â'r gweision, i
weled y diwedd.
59 A'r arch-offeiriaid a'r henuriaid, a'r
holl gynghor, a geisiasant gau-dystiolaeth yn
erbyn yr Iesu, fel y rhoddent ef i farwol-
aeth;
60 Ac ni's cawsant: ïe, er dyfod *yno*
gau-dystion lawer, ni chawsant. Eithr o'r
diwedd fe a ddaeth dau gau-dyst,
61 Ac a ddywedasant, Hwn a ddywed-
n Pen. 27. odd, [n] Mi a allaf ddinystrio teml Dduw, a'i
40. Ioan 2. 19. hadeiladu mewn tri diwrnod.
o Marc 14. 62 [o] A chyfododd yr arch-offeiriad, ac a
60. ddywedodd wrtho, A attebi di ddim? beth
*y mae* y rhai hyn yn *ei* dystiolaethu yn dy
erbyn?
p Esay 53. 63 Ond [p] yr Iesu a dawodd. A'r arch-
7. offeiriad gan atteb a ddywedodd wrtho, Yr
Pen. 27. 12, ydwyf yn dy dynghedu di trwy 'r Duw byw,
14. † *o's.* ddywedyd o honot i ni, † ai tydi yw y Crist,
Mab Duw.
64 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ti a ddy-
q Dan. 7. wedaist: eithr meddaf i chwi, [q] Ar ol hyn
13. y gwelwch Fab y dyn [r] yn eistedd ar dde-
Pen. 16. 27. a 24. 30. heu-law 'r gallu, ac yn dyfod ar gymmylau 'r
Rhuf. 14. nef.
10. 65 Yna y rhwygodd yr arch-offeiriad ei
1 Thess. 4. 16. ddillad, gan ddywedyd, Efe a gablodd: pa
Dat. 1. 7. raid i ni ‡ mwy wrth dystion? wele, yr aw-
r Psal. 110. ron y clywsoch ei gabledd ef.
1. 66 Beth dybygwch chwi? Hwythau gan
‡ *etto.* atteb a ddywedasant, [s] Y mae efe yn euog o
s Lef. 24. farwolaeth.
16. 67 [t] Yna y poerasant yn ei wyneb, ac
t Esay 50. 6. a'i cernodiasant; [u] eraill a'i tarawsant *ef* â
Pen. 27. 30. § gwïail,
u Ioan 19. 68 Gan ddywedyd, [x] Prophwyda i ni, O
3. Crist, Pwy yw 'r hwn a'th darawodd?
§ *chledr-* 69 ¶ A [y] Phetr oedd yn eistedd allan yn
*au eu dwylaw.* y llys: a daeth morwynig atto, ac a ddy-
x Marc 14. wedodd, *A* thithau oeddit gyd ag Iesu y
65. Galilead.
Luc 22. 64. 70 Ac efe a wadodd ger *eu* bron *hwy* oll,
y Marc 14. ac a ddywedodd, Ni's gwn beth yr wyt yn
66. Luc 22. 55. ei ddywedyd.
Ioan 18. 16, 71 A phan aeth efe allan i'r porth, gwel-
25. odd un arall ef; a *hi* a ddywedodd wrth y
rhai oedd yno, Yr oedd hwn hefyd gyd â'r
Iesu o Nazareth.
72 A thrachefn efe a wadodd trwy lw,
Nid adwaen i y dyn.
73 Ac ychydig wedi, daeth y rhai oedd
yn sefyll ger llaw, ac a ddywedasant wrth
Petr, Yn wir yr wyt tithau *yn un* o honynt;
z Luc 22. canys y mae [z] dy leferydd yn dy gyhuddo.
59. 74 Yna y dechreuodd efe regu a thyngu,
Nid adwaen i y dyn. Ac yn y man y can-
odd y ceiliog.
75 A chofiodd Petr air yr Iesu, yr hwn a
a Adn. 34. ddywedasai wrtho, [a] Cyn canu o'r ceiliog, ti
Marc 14. 30. a'm gwedi deir-gwaith. Ac efe a aeth allan,
Ioan 13. 38. ac a wylodd ‖ yn chwerw-dost.
‖ *yn dost.*

## PEN. XXVII.

1 *Rhoddi Crist yn rhwym at Pilat.* 5 *Judas*
*yn ymgrogi.* 19 *Pilat, wedi ei rybuddio*
*gan ei wraig,* 24 *yn golchi ei ddwylaw.*
26 *Rhyddhâu Barabbas.* 29 *Coroni Crist â*
*drain,* 35 *a'i groes-hoelio,* 40 *a'i ddifenwi:*
50 *yntau yn marw: ei gladdu ef.* 66 *Selio*
*a gwylio ei fêdd ef.*

A Phan ddaeth y bore, cyd-ymgynghor- 33.
odd [a] yr holl arch-offeiriaid, a henur- a Marc 15.
iaid y bobl, yn erbyn yr Iesu, *fel* y rhoddent 1. Luc 22. 66.
ef i farwolaeth. a 23. 1.
2 Ac wedi iddynt ei rwymo, hwy a'i dy- Ioan 18. 28.
gasant *ef* ymaith, ac a'i traddodasant ef i
Pontius Pilat y rhaglaw.
3 ¶ Yna pan welodd Judas, yr hwn a'i
bradychodd ef, ddarfod ei gondemnio ef,
bu edifar ganddo, ac a ddug drachefn y deg
ar hugain arian i'r arch-offeiriaid a'r henu-
riaid,
4 Gan ddywedyd, Pechais, gan fradychu
gwaed gwirion. Hwythau a ddywedasant,
Pa beth *yw hynny* i ni? edrych di.
5 Ac wedi iddo daflu 'r arian yn y deml,
[b] efe a ymadawodd, ac a aeth ac a ymgro- b Act. 1.
godd. 18.
6 A'r arch-offeiriaid a gymmerasant yr
arian, ac a ddywedasant, Nid cyfreithlawn
*i ni* eu bwrw hwynt yn y drysorfa; canys
† gwerth gwaed ydyw. † Neu,
7 Ac wedi iddynt gyd-ymgynghori, hwy *pris.*
a brynasant â hwynt faes y crochenydd, yn
gladdfa dïeithriaid.
8 Am hynny y galwyd y maes hwnnw, c Act. 1.
[c] Maes y gwaed, hyd heddyw. 19.
9 (Yna y cyflawnwyd yr hyn a ddy-
wedwyd trwy Jeremïas y prophwyd, gan
ddywedyd, A [d] hwy a gymmerasant y deg d Zech. 11.
ar hugain arian, ‡ pris y prisiedig, yr hwn 12, 13.
§ a brynasant gan feibion Israel; ‡ Neu,
10 Ac a'u rhoisant hwy am faes y croche- *gwerth y gwerthe-*
nydd, megis y gosododd yr Arglwydd i *dig.*
mi.) § Neu,
11 A'r Iesu a safodd ger bron y rhaglaw: *a brisiasai meibion*
a'r rhaglaw a ofynodd iddo, gan ddywedyd, *Israel.*
Ai ti yw Brenhin yr Iuddewon? A'r Iesu a
ddywedodd wrtho, [e] Yr wyt ti yn dywedyd. e Ioan 18.
12 A phan gyhuddid ef gan yr arch- 37.
offeiriaid a'r henuriaid, [f] nid attebodd efe 1 Tim. 6.
ddim. 13.
13 Yna y dywedodd Pilat wrtho, [g] Oni f Pen. 26. 63.
chlywi di faint o bethau y maent hwy yn eu g Pen. 26.
tystiolaethu yn dy erbyn di? 62.
14 Ac nid attebodd efe iddo i un gair; fel
y rhyfeddodd y rhaglaw yn fawr.
15 [h] Ac ar yr wyl *honno* yr arferai y rhag- h Marc 15.
law ollwng yn rhŷdd i'r bobl un carcharor, 6. Luc 23. 17.
yr hwn a fynnent. Ioan 18. 39.
16 Ac yna yr oedd ganddynt garcharor
hynod, a elwid Barabbas.
17 Wedi iddynt gan hynny ymgasglu yn-
ghŷd, Pilat a ddywedodd wrthynt, Pa un a
fynnwch i mi ei ollwng yn rhŷdd i chwi?
Barabbas, ai yr Iesu, yr hwn a elwir
Crist?
18 Canys efe a wyddai mai o gynfigen y
traddodasent ef.
19 ¶ Ac efe yn eistedd ar yr orsedd-
fainge, ei wraig a ddanfonodd atto, gan
ddywedyd, Na fydded i ti a wnelych â'r cy-
fiawn hwnnw: canys goddefais lawer hedd-
yw mewn breuddwyd o'i achos ef.
20 [i] A'r arch-offeiriaid a'r henuriaid a i Ioan 18.
berswadiasant y bobl, fel y gofynent Barab- 40. Act. 3. 14.
bas, ac y difethent yr Iesu.
21 A'r rhaglaw a attebodd ac a ddywed-
odd wrthynt, Pa un o'r ddau a fynnwch i mi
ei ollwng yn rhŷdd i chwi? Hwythau a ddy-
wedasant, Barabbas.

22 Pilat a ddywedodd wrthynt, Pa beth gan hynny a wnaf i'r Iesu, yr hwn a elwir Crist? Hwythau oll a ddywedasant wrtho, Croes-hoelier ef.

23 A'r rhaglaw a ddywedodd, Ond pa ddrwg a wnaeth efe? Hwythau a lefasant yn fwy, gan ddywedyd, Croes-hoelier ef.

24 ¶ A Philat, pan welodd nad oedd dim yn tycio, ond yn hytrach bod cynnwrf, [k] a gymmerth ddwfr, ac a olchodd ei ddwylaw ger bron y bobl, gan ddywedyd, Dieuog ydwyf fi oddi wrth waed y cyfiawn hwn: edrychwch chwi.

[k] Deut. 21. 6.

25 A'r holl bobl a attebodd ac a ddywedodd, [l] *Bydded* ei waed ef arnom ni, ac ar ein plant.

[l] Act. 5. 28.

26 ¶ Yna y gollyngodd efe Barabbas yn rhydd iddynt: [m] ond yr Iesu a fflan-gellodd efe, ac a'i rhoddes i'w groes-hoelio.

[m] Luc 23. 16.

27 [n] Yna milwyr y rhaglaw a gymmerasant yr Iesu † i'r dadleudy, ac a gynnullasant atto yr holl fyddin.

[n] Ioan 19. 1.
† Neu, *i dŷ y rhaglaw*

28 A hwy a'i diosgasant ef, ac [o] a roisant am dano fantell o ysgarlad.

29 ¶ A chwedi iddynt blethu coron o ddrain, hwy a'i gosodasant ar ei ben ef, a chorsen yn ei law ddehau; ac a blygasant eu gliniau ger ei fron ef, ac a'i gwatwarasant, gan ddywedyd, Henffych well, brenhin yr Iuddewon.

[o] Luc 23. 11.

30 A [p] hwy a boerasant arno, ac a gymmerasant y gorsen, ac a'i tarawsant ar ei ben.

[p] Esay 50. 6. Pen. 26. 67.

31 Ac wedi iddynt ei watwar, hwy a'i dïosgasant ef o'r fantell, ac a'i gwisgasant â'i ddillad ei hun, ac a'i dygasant ef ymaith i'w groes-hoelio.

32 [q] Ac fel yr oeddynt yn myned allan, hwy a gawsant ddyn o Cyrene, a'i enw Simon; hwn a gymmellasant i ddwyn ei groes ef.

[q] Marc 15. 21. Luc 23. 26.

33 [r] A phan ddaethant i le a elwid Golgotha, yr hwn a elwir Lle 'r ben-glog,

[r] Ioan 19. 17.

34 [s] Hwy a roisant iddo i'w yfed, finegr yn gymmysgedig â bustl: ac wedi iddo *ei* brofi, ni fynnodd efe yfed.

[s] Psal. 69. 21.

35 Ac wedi iddynt ei groes-hoelio ef, hwy a rannasant ei ddillad, gan fwrw coelbren: er cyflawni y peth a ddywedwyd trwy 'r prophwyd, [t] Hwy a rannasant fy nillad yn eu plith, ac ar fy ngwisg y bwriasant goelbren.

[t] Psal. 22. 18. Ioan 19. 24.

36 A chan eistedd, hwy a'i gwyliasant ef yno:

37 A [u] gosodasant hefyd uwch ei ben ef ei achos yn ysgrifenedig, HWN YW IESU BRENHIN YR IUDDEWON.

[u] Marc 15. 26. Luc 23. 38. Ioan 19. 19.

38 [x] Yna y croes-hoeliwyd gyd ag ef ddau leidr; un ar y llaw ddehau, ac un ar yr aswy.

[x] Esay 53. 12. Luc 23. 32, 33.

39 ¶ [y] A'r rhai oedd yn myned heibio a'i cablasant ef, gan ysgwyd eu pennau,

[y] Psal. 22. 7. Marc 15. 29. Luc 23. 35.

40 A dywedyd, [z] Ti yr hwn a ddinystri 'r deml, ac a'i hadeiladi mewn tridiau, gwared dy hun. Os ti yw Mab Duw, disgyn oddi ar y groes.

[z] Pen. 26. 61. Ioan 2. 19.

41 A'r un modd yr arch-offeiriaid hefyd, gan watwar, gyd â'r ysgrifenyddion a'r henuriaid, a ddywedasant,

42 Efe a waredodd eraill, ei hunan ni's gall efe ei waredu. Os Brenhin Israel yw, disgyned yr awrhon oddi ar y groes, ac ni a gredwn iddo.

43 [a] Ymddiriedodd yn Nuw; gwareded efe ef yr awrhon, os efe a'i myn ef: canys efe a ddywedodd, Mab Duw ydwyf.

[a] Psal. 22. 8. Doeth. 2. 16, 17, 18.

44 [b] A'r un peth hefyd a edliwiodd y lladron iddo, y rhai a groes-hoeliasid gyd ag ef.

[b] Luc 23. 39.

45 Ac o'r chweched awr y bu tywyllwch ar yr holl ‡ ddaear hyd y nawfed awr.

‡ *dir.*

46 Ac ynghylch y nawfed awr [c] y llefodd yr Iesu â llef uchel, gan ddywedyd, Eli, Eli, lama sabachthani? hynny yw, [d] Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?

[c] Heb. 5. 7.
[d] Psal. 22. 1.

47 A rhai o'r sawl oedd yn sefyll yno, pan glywsant, a ddywedasant, Y mae hwn yn galw am Elias.

48 Ac yn y fan un o honynt a redodd, ac a gymmerth ysbwng, [e] ac a'i llanwodd o finegr, ac a'i rhoddodd ar gorsen, ac a'i diododd ef.

[e] Psal. 69. 21. Marc 15. 36. Luc 23. 36. Ioan 19. 29.

49 A'r lleill a ddywedasant, Paid, edrychwn a ddaw Elias i'w waredu ef.

50 ¶ [f] A'r Iesu, wedi llefain drachefn â llef uchel, a ymadawodd â'r yspryd.

[f] Luc 23. 46.

51 Ac wele, [g] llen y deml a rwygwyd yn ddau oddi fynu hyd i wared: a'r ddaear a grynodd, a'r meini a holltwyd:

[g] Exod. 26. 31. 2 Chron. 3. 14. Marc 15. 38.

52 A'r beddau a agorwyd; a llawer o gyrph y saint a hunasent a gyfodasant,

53 Ac a ddaethant allan o'r beddau ar ol ei gyfodiad ef, ac a aethant i mewn i'r ddinas sanctaidd, ac a ymddangosasant i lawer.

54 [h] Ond y canwriad, a'r rhai oedd gyd ag ef yn gwylied yr Iesu, wedi gweled y ddaear-gryn, a'r pethau a wnaethid, a ofnasant yn fawr, gan ddywedyd, Yn wir Mab Duw ydoedd hwn.

[h] Marc 15. 39. Luc 23. 47.

55 Ac yr oedd yno lawer o wragedd yn edrych o hirbell, [i] y rhai a ganlynasent yr Iesu o Galilea, gan weini iddo ef:

[i] Luc 8. 2, 3.

56 [k] Ym mhlith y rhai yr oedd Mair Magdalen, a Mair mam Iago a Joses, a mam meibion Zebedëus.

[k] Marc 15. 40.

57 ¶ [l] Ac wedi ei myned hi yn hwyr, daeth gwr goludog o Arimathea, a'i enw Joseph, yr hwn a fuasai yntau yn ddisgybl i'r Iesu:

[l] Marc 15. 42. Luc 23. 50. Ioan 19. 38.

58 Hwn a aeth at Pilat, ac a ofynodd gorph yr Iesu. Yna y gorchymynodd Pilat roddi 'r corph.

59 A Joseph wedi cymmeryd y corph, a'i hamdoodd â lliain glân,

60 Ac [m] a'i gosododd ef yn ei fedd newydd ei hun, yr hwn a dorrasai efe yn y graig; ac a dreiglodd faen mawr wrth ddrws y bedd, ac a aeth ymaith.

[m] Esay 53. 9.

61 Ac yr oedd yno Mair Magdalen, a Mair arall, yn eistedd gyferbyn â'r bedd.

62 ¶ A thrannoeth, yr hwn sydd ar ol y darpar-wyl, yr ymgynhullodd yr arch-offeiriaid a'r Phariseaid at Pilat,

63 Gan ddywedyd, Arglwydd, y mae yn gof gennym ddywedyd o'r twyllwr hwnnw, ac efe etto yn fyw, [n] Wedi tridiau y cyfodaf.

[n] Pen. 16. 21. a 17. 23. a 20. 19. Marc 8. 31. a 10. 34. Luc 9. 22. a 18. 33 a 24. 6.

64 Gorchymyn gan hynny gadw 'r bedd yn ddiogel hyd y trydydd dydd; rhag dyfod ei ddisgyblion o hyd nos, a'i ladratta ef, a dywedyd wrth y bobl, Efe a gyfododd o feirw: a bydd yr amryfusedd diweddaf yn waeth nâ 'r cyntaf.

65 A dywedodd Pilat wrthynt, Y mae gennych wyliadwriaeth; ewch, gwnewch mor ddïogel ag y medroch.

66 A hwy a aethant ac a wnaethant y bedd yn ddïogel, ac a seliasant y maen, gyd â'r wyliadwriaeth.

PEN. XXVIII.

*1 Dangos adgyfodiad Crist i'r gwragedd gan angel. 9 Crist ei hun yn ymddangos iddynt hwy. 11 Yr arch-offeiriaid yn rhoddi arian i'r milwŷr, i ddywedyd ddarfod ei ladratta ef allan o'r bedd. 16 Crist yn ymddangos i'w ddisgyblion, 19 ac yn eu hanfon i fedyddio, ac i ddysgu'r holl genhedloedd.*

33.
AC yn [a] niwedd y sabbath, a hi'n dydd-
hâu i'r *dydd* cyntaf o'r † wythnos,
daeth Mair Magdalen, a'r Fair arall, i
edrych y bedd.

[a] Marc 16. 1. Luc 24. 1. Ioan 20. 1.
† *sabbathau.*

2 Ac wele, ‡ bu daear-gryn mawr: canys
disgynodd angel yr Arglwydd o'r nef, ac a
ddaeth ac a dreiglodd y maen oddi wrth y
drws, ac a eisteddodd arno.

‡ Neu, *buasai.*

3 A'i wyneb-pryd oedd fel mellten, a'i
wisg yn wen fel eira.
4 A rhag ei ofn ef y crynodd y ceidwaid,
ac a aethant megis yn feirw.
5 A'r angel a attebodd ac a ddywedodd
wrth y gwragedd, Nac ofnwch: canys mi a
wn mai ceisio'r ydych yr Iesu, yr hwn a
groes-hoeliwyd.
6 Nid yw efe yma: canys cyfododd,
[b] megis y dywedodd. Deuwch, gwelwch
y fan lle y gorweddodd yr Arglwydd.

[b] Pen. 12. 40. a 16. 21. a 17. 23. a 20. 19.

7 Ac ewch ar frwst, a dywedwch i'w
ddisgyblion, gyfodi o hono o feirw. Ac
wele, [c] y mae efe yn myned o'ch blaen chwi
i Galilea: yno y gwelwch ef. Wele, dy-
wedais i chwi.

[c] Pen. 26. 32. Marc 16. 7.

8 Ac wedi eu myned ymaith ar frys
oddi wrth y bedd, gyd ag ofn a llawen-
ydd mawr, rhedasant i fynegi i'w ddis-
gyblion ef.
9 ¶ Ac fel yr oeddynt yn myned i fynegi
i'w ddisgyblion ef, wele, [d] yr Iesu a gy-
farfu â hwynt, gan ddywedyd, Henffwch
well. A hwy a ddaethant, ac a ymafaelasant
yn ei draed ef, ac a'i haddolasant.

[d] Marc 16. 9. Ioan 20. 14.

10 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt,
Nac ofnwch: [e] ewch, mynegwch i'm bro-
dyr, fel yr elont i Galilea, ac yno y'm
gwelant i.

[e] Ioan 20. 17.

11 ¶ Ac wedi eu myned hwy, wele, rhai
o'r wyliadwriaeth a ddaethant i'r ddinas, ac
a fynegasant i'r arch-offeiriaid yr hyn oll a
wnaethid.
12 Ac wedi iddynt ymgasglu ynghŷd gyd
â'r henuriaid, a chyd-ymgynghori, hwy a
roisant § arian lawer i'r milwŷr,

§ *swm o arian.*

13 Gan ddywedyd, Dywedwch, Ei ddis-
gyblion a ddaethant o hŷd nos, ac a'i llad-
rattasant ef, a nyni yn cysgu.

|| *a barwn iddo goelio.*

14 Ac os clyw y rhaglaw hyn, ni || a'i
perswadiwn ef, ac a'ch gwnawn chwi yn
ddïofal.

† *a chyhoeddwyd.*
[f] Pen. 26. 32.

15 A hwy a gymmerasant yr arian, ac a
wnaethant fel yr addysgwyd hwynt: † a
thanwyd y gair hwn ym mhlith yr Iu-
ddewon hyd y dydd heddyw.
16 ¶ A'r un disgybl ar ddeg a aethant i
Galilea, i'r mynydd [f] lle'r ordeiniasai'r
Iesu iddynt.
17 A phan welsant ef, hwy a'i haddol-
asant ef: ond rhai a amheuasant.
18 A'r Iesu a ddaeth, ac a lefarodd
wrthynt, gan ddywedyd, Rhoddwyd i mi
[g] bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear.

[g] Pen. 11. 27. Luc 10. 22. Ioan 3. 35. a 5. 22. a 17. 2. Ephes. 1. 21. Heb. 1. 2. a 2. 8.

19 [h] Ewch gan hynny a [i] ‡ dysgwch yr
holl genhedloedd, gan eu bedyddio hwy yn
enw'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân;

[h] Marc 16. 15.
[i] Act. 14. 21.
‡ Neu, *gwnewch ddisgyblion, neu, Gristianogion, o'r holl, &c.*

20 [k] Gan ddysgu iddynt gadw pob peth
a'r a orchymynais i chwi. Ac wele, yr
ydwyf fi gyd â chwi bob amser hyd ddiwedd
y byd. Amen.

[k] Act. 2. 42.

---

# ¶ Yr Efengyl yn ol Sant MARC.

PEN. I.

*2 Swydd Ioan Fedyddiwr. 9 Bedyddio'r Iesu, 12 a'i demtio. 14 Efe yn pregethu; 16 yn galw Petr, Andreas, Iago, ac Ioan 23 yn iachâu dyn ag ysbryd aflan ynddo, 29 a mam gwraig Petr, 32 a llawer o gleifion: 41 ac yn glanhâu y gwahanglwyfus.*

Diwedd Bl. yr Argl. 26.
DECHREU efengyl Iesu Grist, fab
Duw;
2 Fel yr ysgrifenwyd yn y prophwydi,
[a] Wele, yr ydwyf fi yn anfon fy nghennad
o flaen dy wyneb, yr hwn a barottoa dy
ffordd o'th flaen.

[a] Mal. 3. 1. Mat. 11. 10. Luc 7. 27.

3 [b] Lef un yn llefain yn y diffaethwch,
Parottôwch ffordd yr Arglwydd, gwnewch
yn uniawn ei lwybrau ef.

[b] Esay 40. 3. Mat. 3. 3. Luc 3. 4. Ioan 1. 15, 23.

4 [c] Yr oedd Ioan yn bedyddio yn y di-
ffaethwch, ac yn pregethu bedydd edifeir-
wch, er maddeuant pechodau.

[c] Mat. 3. 1. Luc 3. 3. Ioan 3. 23.

5 [d] Ac aeth allan atto ef holl wlad Ju-
dea, a'r Hierosolymitiaid, ac a'u bedydd-
iwyd oll ganddo yn afon yr Iorddonen, gan
gyffesu eu pechodau.

[d] Mat. 3. 5.

6 Ac Ioan oedd [e] wedi ei wisgo â blew
camel, a gwregys croen ynghylch ei lwynau,
ac yn bwytta [f] locustiaid a mel gwyllt:

[e] Mat. 3. 4.
[f] Lef. 11. 22.

7 Ac efe a bregethodd, gan ddywedyd,
[g] Y mae yn dyfod ar fy ol i un cryfach
nâ myfi, carrai esgidiau yr hwn nid
wyf fi deilwng i ymostwng, ac i'w dat-
todi.

[g] Mat. 3. 11.

8 [h] Myfi yn wir a'ch bedyddiais chwi â
dwfr: eithr efe a'ch bedyddia chwi [i] â'r
Ysbryd Glân.

[h] Act. 1. 5. a 11. 16. a 19. 4.
27.
[i] Esay 44. 3. Joel 2. 28. Act. 2. 4. a 11. 15.

9 [k] A bu yn y dyddiau hynny, ddyfod o'r
Iesu o Nazareth yn Galilea, ac efe a fe-
dyddiwyd gan Ioan yn yr Iorddonen.
10 Ac yn ebrwydd wrth ddyfod i fynu o'r
dwfr, efe a welodd y nefoedd yn agored, a'r
Ysbryd yn disgyn arno megis colommen.

[k] Mat. 3. 13. Luc 3. 21.

11 A llef a ddaeth o'r nefoedd, [l] Tydi yw
fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd.

[l] Psal. 2. 7. Esay 42. 1. Mat. 3. 17. Pen. 9. 7.

12 Ac [m] yn ebrwydd y gyrrodd yr ysbryd
ef i'r diffaethwch.

[m] Mat. 4. 1. Luc 4. 1.

13 Ac efe a fu yno yn y diffaethwch ddeu-
gain niwrnod yn ei demtio gan Satan: ac
yr oedd efe gyd â'r gwyllt-filod; a'r angyl-
ion a weiniasant iddo.

Diwedd 30.

14 Ac [n] ar ol traddodi Ioan, yr Iesu a
ddaeth i Galilea, [o] gan bregethu efengyl
teyrnas Dduw,

[n] Mat. 4. 12.
[o] Mat. 4. 23.

15 A dywedyd, [p] Yr amser a gyflawnwyd,
a [q] theyrnas Dduw a nesaodd: edifarhewch,
a chredwch yr efengyl.

[p] Gal. 4. 4. Eph. 1. 10.
[q] Mat. 3. 2.

16 Ac [r] fel yr oedd efe yn rhodio wrth
for Galilea, efe a ganfu Simon, ac Andreas
ei frawd, yn bwrw rhwyd yn y môr: (canys
pysgodwŷr oeddynt.)

[r] Mat. 4. 18. Luc 5. 4.

17 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Deu-
wch ar fy ol i, a gwnaf iwch' fod yn bysgod-
wŷr dynion.
18 Ac yn ebrwydd, [s] gan adael eu rhwyd-
au, y canlynasant ef.

[s] Pen. 19. 27. Luc. 5. 11.

19 Ac wedi iddo fyned rhagddo ychydig
oddi yno, efe a ganfu Iago *fab* Zebedëus, ac

Ioan ei frawd ef, a hwy yn y llong yn cy-
weirio y rhwydau.
20 Ac yn y man efe a'u galwodd hwynt:
a hwy a adawsant eu tad Zebedeus yn y
llong gyd â'r cyflog-ddynion, ac a aethant
ar ei ol ef.
31. 21 [t] A hwy a aethant i mewn i Caper-
[t] Mat. 4. 13. naum; ac yn ebrwydd ar y dydd sabbath,
Luc 4. 31. wedi iddo fyned i mewn i'r synagog, efe a
athrawiaethodd.
[u] Mat. 7. 28. 22 A [u] synnasant wrth ei athrawiaeth ef:
canys yr oedd efe yn eu dysgu hwy megis
un ag awdurdod ganddo, ac nid fel yr ys-
grifenyddion.
[x] Luc 4. 33. 23 [x] Ac yr oedd yn eu synagog hwy ddyn
ag ynddo yspryd aflan; ac efe a lefodd,
† *Paid.* 24 Gan ddywedyd, † Och, [y] beth sydd i
[y] Mat. 8. 29. ni a wnelom â thi, Iesu o Nazareth? a
ddaethost ti i'n difetha ni? mi a'th adwaen
pwy ydwyt, Sanct Duw.
[z] Adn. 34. 25 A'r Iesu [z] a'i ceryddodd ef, gan ddy-
wedyd, Taw, a dos allan o hono.
[a] Pen. 9. 20. 26 Yna wedi i'r yspryd aflan [a] ei rwygo
ef, a gwaeddi â llef uchel, efe a ddaeth
allan o hono.
27 Ac fe a aeth ar bawb fraw, fel yr
ymofynasant yn eu mysg eu hunain, gan
ddywedyd, Beth yw hyn? pa athrawiaeth
newydd *yw* hon? canys trwy awdurdod y
mae efe yn gorchymyn, ïe, yr ysprydion
aflan, a hwy yn ufuddhâu iddo.
28 Ac yn ebrwydd yr aeth son am dano
dros yr holl wlad o amgylch Galilea.
[b] Mat. 8. 14. 29 Ac [b] yn y man wedi iddynt fyned
Luc 4. 38. allan o'r synagog, hwy a aethant i dŷ Simon
ac Andreas, gyd ag Iago ac Ioan.
‡ *mam gwraig Simon.* 30 Ac yr oedd ‡ chwegr Simon yn gor-
wedd yn glaf o'r cryd: ac yn ebrwydd y dy-
wedasant wrtho am dani hi.
31 Ac efe a ddaeth ac a'i cododd hi i fy-
nu, gan ymaflyd yn ei llaw hi: a'r cryd a'i
gadawodd hi yn y man, a hi a wasanaethodd
arnynt hwy.
[c] Mat. 8. 16. 32 [c] Ac wedi iddi hwyrhâu, pan fach-
ludodd yr haul, hwy a ddygasant atto yr
holl rai drwg eu hwyl, a'r rhai cythreulig.
33 A'r holl ddinas oedd wedi ymgasglu
wrth y drws.
34 Ac efe a iachaodd lawer o rai drwg eu
hwyl o amryw heintiau, ac a fwriodd allan
[d] Luc 4. 41. lawer o gythreuliaid; ac [d] ni adawodd i'r cy-
Act. 16. 17, 18. threuliaid ddywedyd yr adwaenent ef.
35 A'r [e] bore yn blygeiniol iawn, wedi
[e] Luc 4. 42. iddo godi, efe a aeth allan, ac a aeth i le
anghyfannedd; ac yno y gweddïodd.
36 A Simon, a'r rhai oedd gyd ag ef, a'i
dilynasant ef.
37 Ac wedi iddynt ei gael ef, hwy a ddy-
wedasant wrtho, Y mae pawb yn dy geisio
di.
[f] Luc 4. 43. 38 Ac efe a ddywedodd wrthynt, [f] Awn
i'r trefydd nesaf, fel y gallwyf bregethu yno
[g] Esay 61. 1. hefyd: canys [g] i hynny y daethum allan.
39 Ac yr oedd efe yn pregethu yn eu syn-
agogau hwynt trwy holl Galilea, ac yn
bwrw allan gythreuliaid.
[h] Mat. 8. 2. 40 [h] A daeth atto ef *un* gwahan-glwyfus,
Luc 5. 12. gan ymbil ag ef, a gostwng ar ei liniau iddo,
a dywedyd wrtho, Os mynni, ti a elli fy
nglanhâu.
41 A'r Iesu, gan dosturio, a estynodd ei
law, ac a gyffyrddodd ag ef, ac a ddywed-
odd wrtho, Mynnaf, bydd lân.
42 Ac wedi iddo ddywedyd *hynny*, ym-
adawodd y gwahan-glwyf ag ef yn eb-
rwydd, a glanhawyd ef.
43 Ac wedi gorchymyn iddo yn gaeth,
efe a'i hanfonodd ef ymaith yn y man;
44 Ac a ddywedodd wrtho, Gwel na ddy-
wedych ddim wrth neb: eithr dos ymaith,
dangos dy hun i'r offeiriad, ac offrymma
dros dy lanhad y pethau [i] a orchymynodd [i] Lef. 14. 4.
Moses, er tystiolaeth iddynt hwy.
45 [k] Eithr efe a aeth ymaith, ac a [k] Luc 5. 15.
ddechreuodd gyhoeddi llawer, a thannu'r
gair ar led, fel na allai'r Iesu fyned mwy
yn amlwg i'r ddinas, eithr yr oedd efe allan
mewn lleoedd anghyfannedd: ac o bob
parth y daethant atto ef.

## PEN. II.

3 *Crist yn iachâu un claf o'r parlys;* 14 *yn galw Matthew o'r dollfa;* 15 *yn bwytta gyd â phublicanod a phechaduriaid;* 18 *yn esgusodi ei ddisgyblion, am nad ymprydient,* 23 *ac am dynnu y tywys ŷd ar y dydd sabbath.*

AC efe [a] a aeth drachefn i Capernaum, 31.
wedi *rhai* dyddiau; a chlybuwyd ei fod [a] Mat. 9. 1.
efe yn tŷ. Luc 5. 18.
2 Ac yn y man llawer a ymgasglasant
ynghyd, hyd na annent, hyd yn oed yn y
lleoedd ynghylch y drws: ac efe a bregeth-
odd y gair iddynt hwy.
3 A daethant atto, gan ddwyn un claf o'r
parlys, yr hwn a ddygid gan bedwar.
4 A chan na allent nesâu atto gan y dyrfa,
didôi y to a wnaethant lle'r oedd efe: ac
wedi iddynt dorri trwodd, hwy a ollyng-
asant i wared y gwely yn yr hwn y gor-
weddai y claf o'r parlys.
5 A phan welodd yr Iesu eu ffydd hwynt,
efe a ddywedodd wrth y claf o'r parlys, *Ha*
fab, maddeuwyd i ti dy bechodau.
6 Ac yr oedd rhai o'r ysgrifenyddion
yn eistedd yno, ac yn ymresymmu yn eu
calonnau,
7 Beth a wna hwn fel hyn yn dywedyd
cabledd? [b] pwy a all faddeu pechodau, ond [b] Job 14. 4.
Duw yn unig? Esay 43. 25.
8 Ac yn ebrwydd, pan wybu'r Iesu yn ei
yspryd eu bod hwy yn ymresymmu felly
ynddynt eu hunain, efe a ddywedodd wrth-
ynt, Paham yr ydych yn ymresymmu am y
pethau hyn yn eich calonnau?
9 Pa un sydd hawsaf, ai dywedyd wrth
y claf o'r parlys, Maddeuwyd i ti *dy* bech-
odau; ai dywedyd, Cyfod, a chymmer i fynu
dy wely, a rhodia?
10 Eithr fel y gwypoch fod gan Fab y dyn
awdurdod i faddeu pechodau ar y ddaear,
(eb efe wrth y claf o'r parlys)
11 Wrthyt ti yr wyf yn dywedyd, Cy-
fod, a chymmer i fynu dy wely, a dos i'th
dŷ.
12 Ac yn y man y cyfododd efe, ac y
cymmerth i fynu ei wely, ac a aeth allan yn
eu gwydd hwynt oll; hyd oni synnodd
pawb, a gogoneddu Duw, gan ddywedyd,
Ni welsom ni erioed fel hyn.
13 Ac efe a aeth allan drachefn wrth lan
y môr: a'r holl dyrfa a ddaeth atto; ac efe
a'u dysgodd hwynt.
14 ¶ Ac [c] efe yn myned heibio, efe a [c] Mat. 9. 9.
ganfu Lefi *fab* Alphëus yn eistedd wrth y Luc 5. 27.
dollfa, ac a ddywedodd wrtho, Canlyn fi.
Ac efe a gododd, ac a'i canlynodd ef.
15 A bu, a'r Iesu yn eistedd i fwytta yn
ei dŷ ef, i lawer hefyd o bublicanod a
phechaduriaid eistedd gyd â'r Iesu a'i
ddisgyblion: canys llawer oeddynt, a hwy
a'i canlynasent ef.

16 A phan welodd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid ef yn bwytta gyd â'r publicanod a'r pechaduriaid, hwy a ddywedasant wrth ei ddisgyblion ef, Paham y mae efe yn bwytta ac yn yfed gyd â'r publicanod a'r pechaduriaid?

17 A'r Iesu, pan glybu, a ddywedodd wrthynt, Y rhai sy iach nid rhaid iddynt wrth y meddyg, ond y rhai cleifion: [d] ni ddaethum i alw y rhai cyfiawn, ond pechaduriaid, i edifeirwch.

[d] 1 Tim. 1. 15.

18 ¶ [e] A disgyblion Ioan a'r Phariseaid oeddynt yn ymprydio. A hwy a ddaethant ac a ddywedasant wrtho, Paham y mae disgyblion Ioan a'r Phariseaid yn ymprydio, ond dy ddisgyblion di nid ydynt yn ymprydio?

[e] Mat. 9. 14. Luc 5. 33.

19 A dywedodd yr Iesu wrthynt, A all plant yr ystafell briodas ymprydio, tra fyddo y priodas-fab gyd â hwynt? tra fyddo ganddynt y priodas-fab gyd â hwynt, ni allant ymprydio.

20 Eithr y dyddiau a ddaw, pan ddyger y priodas-fab oddi arnynt; ac yna'r ymprydiant yn y dyddiau hynny.

21 ¶ Hefyd ni wnïa neb ddernyn o frethyn newydd ar ddilledyn hen: *os* amgen, ei gyflawniad newydd ef a dynn oddi wrth yr hen, a gwaeth fydd y rhwyg.

22 Ac ni rydd neb win newydd mewn hen gostrelau: *os* amgen, y gwin newydd a ddryllia'r costrelau, a'r gwin a red allan, a'r costrelau a gollir: eithr gwin newydd sydd raid ei roi mewn costrelau newyddion.

23 [f] A bu iddo fyned trwy'r ŷd ar y sabbath; a'i ddisgyblion a ddechreuasant ymdaith [g] gan dynnu'r tywys.

[f] Mat. 12. 1. Luc 6. 1.
[g] Deut. 23. 25.

24 A'r Phariseaid a ddywedasant wrtho, Wele, paham y gwnant ar y sabbath yr hyn nid yw gyfreithlawn?

25 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Oni ddarllenasoch erioed [h] beth a wnaeth Dafydd, pan oedd angen a chwant bwyd arno, efe a'r rhai oedd gyd ag ef?

[h] 1 Sam. 21. 6.

26 Pa fodd yr aeth efe i dŷ Dduw, dan Abiathar yr arch-offeiriad, ac y bwyttaodd y † bara gosod, [i] y rhai nid cyfreithlon eu bwytta, ond i'r offeiriaid yn unig, ac a'i rhoddes hefyd i'r rhai oedd gyd ag ef?

† *torthau dangos.*
[i] Lef. 24. 9.

27 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y sabbath a wnaethpwyd er mwyn dyn, ac nid dyn er mwyn y sabbath.

28 Am hynny y mae Mab y dyn yn Arglwydd hefyd ar y sabbath.

## PEN. III.

1 *Crist yn iachâu y llaw wedi gwywo,* 10 *a llawer o glefydau eraill:* 11 *yn ceryddu 'r ysprydion aflan:* 13 *yn dewis ei ddeuddeg apostol:* 22 *yn atteb cabledd y rhai a ddywedent ei fod ef yn bwrw allan gythreuliaid trwy Beelzebub;* 31 *ac yn dangos pwy ydyw ei frawd, a'i chwaer, a'i fam.*

31.

AC [a] efe a aeth i mewn drachefn i'r synagog; ac yr oedd yno ddyn a chanddo law wedi gwywo.

[a] Mat. 12. 9. Luc 6. 6.

2 A hwy a'i gwyliasant ef, a iachaai efe ef ar y dydd sabbath; fel y cyhuddent ef.

3 Ac efe a ddywedodd wrth y dyn yr oedd ganddo y llaw wedi gwywo, Cyfod, † i'r canol.

† Gr. *saf yn y canol.*

4 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy, Ai rhydd gwneuthur da ar y dydd sabbath, ynte gwneuthur drwg? cadw einioes, ai lladd? A hwy a dawsant â son.

5 Ac wedi edrych arnynt o amgylch yn ddigllon, gan dristâu am ‡ galedrwydd eu calon hwynt, efe a ddywedodd wrth y dyn, Estyn allan dy law. Ac efe a'i hestynodd: a'i law ef a wnaed yn iach fel y llall.

‡ *ddallineb.*

6 A'r Phariseaid a aethant allan, ac a ymgynghorasant yn ebrwydd gyd â'r [b] Herodianiaid yn ei erbyn ef, pa fodd y difethent ef.

[b] Mat. 22. 16.

7 A'r Iesu gyd â'i ddisgyblion a giliodd tu a'r môr: a lliaws mawr a'i canlynodd ef, o Galilea, ac o Judea,

8 Ac o Jerusalem, ac o Idumea, ac o'r tu hwnt i'r Iorddonen; a'r rhai o gylch Tyrus a Sidon, lliaws mawr, pan glywsant gymmaint a wnaethai efe, a ddaethant atto.

9 Ac efe a ddywedodd wrth ei ddisgyblion am fod llong yn barod iddo, oblegid y dyrfa, rhag iddynt ei wasgu ef.

10 Canys efe a iachasai lawer, hyd oni § phwysent arno, er mwyn cyffwrdd ag ef, cynnifer ag oedd â phlaau arnynt.

§ Neu, *ruthrent.*

11 A'r ysprydion aflan, pan welsant ef, a syrthiasant i lawr ger ei fron ef, ac a waeddasant, gan ddywedyd, Ti yw Mab Duw.

12 [c] Yntau a orchymynodd iddynt yn gaeth, na chyhoeddent ef.

[c] Pen. 1. 25.

13 ¶ Ac [d] efe a esgynodd i'r mynydd, ac a alwodd atto y rhai a fynnodd efe: a hwy a ddaethant atto.

[d] Pen. 6. 7. Luc 6. 12. a 9. 1.

14 Ac efe a ordeiniodd ddeuddeg, fel y byddent gyd ag ef, ac fel y danfonai efe hwynt i bregethu;

15 Ac i fod ganddynt awdurdod i iachâu clefydau, ac i fwrw allan gythreuliaid.

16 Ac i Simon [e] y rhoddes efe enw Petr,

[e] Ioan 1. 42.

17 Ac Iago *fab* Zebedëus, ac Ioan brawd Iago, (ac efe a rhoddes iddynt enwau Boanerges; yr hyn yw, Meibion y daran)

18 Ac Andreas, a Phylip, a Bartholomëus, a Matthew, a Thomas, ac Iago *fab* Alphëus, a Thadëus, a Simon y Canaanead,

19 A Judas Iscariot, yr hwn hefyd a'i bradychodd ef. A hwy a ddaethant ‖ i dŷ.

‖ *adref.*

20 A'r dyrfa a ymgynhullodd drachefn, [f] fel na allent gymmaint a bwytta bara.

[f] Pen. 6. 31.

21 A phan glybu yr eiddo ef, hwy a aethant i'w ddal ef: canys dywedasant, Y mae efe allan o'i bwyll.

22 ¶ A'r ysgrifenyddion, y rhai a ddaethent i wared o Jerusalem, a ddywedasant fod [g] Beelzebub ganddo, ac mai trwy bennaeth y cythreuliaid yr oedd efe yn bwrw allan gythreuliaid.

[g] Mat. 9. 34. Luc 11. 15. Ioan 7. 20. a 8. 48, 52. a 10. 20.

23 [h] Ac wedi iddo eu galw hwy atto, efe a ddywedodd wrthynt mewn damhegion, Pa fodd y gall Satan fwrw allan Satan?

[h] Mat. 12. 25.

24 Ac o bydd teyrnas wedi ymrannu yn ei herbyn ei hun, ni ddichon y deyrnas honno sefyll.

25 Ac o bydd tŷ wedi ymrannu yn ei erbyn ei hun, ni ddichon y tŷ hwnnw sefyll.

26 Ac os Satan a gyfyd yn ei erbyn ei hun, ac a fydd wedi ymrannu, ni all efe sefyll, eithr y mae iddo ddiwedd.

27 Ni ddichon neb fyned i mewn i dŷ y cadarn, ac yspeilio ei ddodrefn ef, oni bydd iddo yn gyntaf rwymo'r cadarn; ac yna yr yspeilia ei dŷ ef.

28 [i] Yn wir y dywedaf i chwi, y maddeuir pob pechod i feibion dynion, a pha gabledd bynnag a gablant:

[i] Mat. 12. 31. Luc 12. 10. 1 Ioan 5. 16.

29 Eithr yr hwn a gablo yn erbyn yr Yspryd Glân, ni chaiff faddeuant yn dragywydd, ond y mae yn euog o farn dragywydd:

30 Am iddynt ddywedyd, Y mae yspryd
aflan ganddo.
[a] Mat. 12. 31 ¶ [b] Daeth gan hynny ei frodyr ef a'i
46. fam; a chan sefyll allan, hwy a anfonasant
Luc 8. 19. atto, gan ei alw ef.
32 A'r bobl oedd yn eistedd o'i amgylch,
ac a ddywedasant wrtho, Wele, y mae dy
fam di a'th frodyr allan yn dy geisio.
33 Ac efe a'u hattebodd hwynt, gan
ddywedyd, Pwy yw fy mam i, neu fy
mrodyr i?
34 Ac wedi iddo edrych oddi amgylch ar
y rhai oedd yn eistedd yn ei gylch, efe a
ddywedodd, Wele fy mam i a'm brodyr i.
35 Canys pwy bynnag a wnelo ewyllys
Duw, hwnnw yw fy mrawd i, a'm chwaer,
a'm mam i.

## PEN. IV.

*1 Dammeg yr hauwr, 14 a'i ddeongliad.
21 Rhaid i ni gyfrannu goleuni ein gwybodaeth i eraill. 26 Dammeg yr had yn tyfu
yn ddiarwybod, 30 a'r gronyn mwstard.
35 Crist yn gostegu'r dymmestl ar y môr.*

31. AC [a] efe a ddechreuodd drachefn ath-
[a] Mat. 13. rawiaethu yn ymyl y môr: a thyrfa
1. fawr a ymgasglodd atto, hyd oni bu iddo
Luc 8. 4. fyned † i'r llong, ac eistedd ar y môr; a'r
† *i long.* holl dyrfa oedd wrth y môr, ar y tir.
2 Ac efe a ddysgodd iddynt lawer ar
[b] Pen. 12. ddamhegion, ac [b] a ddywedodd wrthynt yn
38. ei ddysgeidiaeth ef,
3 Gwrandêwch: Wele, hauwr a aeth al-
lan i hau:
4 A darfu wrth hau, i beth syrthio ar fin
y ffordd, ac ehediaid yr awyr a ddaethant
ac a'i difasant.
5 A pheth a syrthiodd ar greigle, lle ni
chafodd fawr ddaear; ac yn y fan yr egin-
odd, am nad oedd iddo ddyfnder daear.
6 A phan gododd yr haul, y poethwyd
ef; ac am nad oedd gwreiddyn iddo, efe a
wywodd.
7 A pheth a syrthiodd ym mhlith drain;
a'r drain a dyfasant, ac a'i tagasant ef, ac ni
ddug ffrwyth.
8 A pheth arall a syrthiodd mewn tir da,
ac a roddes ffrwyth tyfadwy a chynhyrchol,
ac a ddug un ddeg ar hugain, ac un dri ugain,
ac un gant.
9 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y neb
sydd ganddo glustiau i wrando, gwran-
dawed.
[c] Mat. 13. 10 [c] A phan oedd efe wrtho ei hun, y
10. rhai oedd yn ei gylch ef gyd â'r deuddeg a
ofynasant iddo am y ddammeg.
11 Ac efe a ddywedodd wrthynt, I chwi
y rhoddwyd gwybod dirgelwch teyrnas Dduw:
[d] 1 Cor. 5. eithr i'r [d] rhai sy allan, ar ddamhegion y
12. gwneir pob peth:
Col. 4. 5. 12 [e] Fel yn gweled y gwelant, ac na chan-
1 Thess. 4. fyddant; ac yn clywed y clywant, ac ni
12. ddeallant; rhag iddynt ddychwelyd, a mad-
1 Tim. 3. deu iddynt *eu* pechodau.
7.
[e] Luc 8. 10. 13 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Oni
Esay 6. 9.
Mat. 13. 14. wyddoch chwi y ddammeg hon? a pha fodd
Ioan 12. 40. y gwybyddwch yr holl ddamhegion?
Act. 28. 26.
Rhuf. 11. 8. 14 ¶ [f] Yr hauwr sydd yn hau y gair:
[f] Mat. 13. 15 A'r rhai hyn yw y rhai ar fin y ffordd,
19. lle'r hauir y gair; ac wedi iddynt ei glyw-
Luc 8. 11. ed, y mae Satan yn dyfod yn ebrwydd, ac
yn dwyn ymaith y gair a hauwyd yn eu ca-
lonnau hwynt.
16 A'r rhai hyn yr un ffunud yw y rhai a
hauir ar y creigle; y rhai, wedi clywed y
gair, sydd yn ebrwydd yn ei dderbyn ef yn
llawen;

17 Ac nid oes ganddynt wreiddyn yn-
ddynt eu hunain, eithr dros amser y maent:
yna, pan ddêl blinder neu erlid o achos y
gair, yn y man y rhwystrir hwynt.
18 A'r rhai hyn yw y rhai a hauwyd ym
mysg y drain; y rhai a wrandawant y gair,
19 Ac y mae gofalon y byd hwn, a [g] hud- [g] 1 Tim. 6.
oliaeth golud, a chwantau am bethau eraill, 17.
yn dyfod i mewn, ac yn tagu'r gair, a my-
ned y mae yn ddiffrwyth.
20 A'r rhai hyn yw y rhai a hauwyd
mewn tir da; y rhai sydd yn gwrando'r
gair, ac yn *ei* dderbyn, ac yn dwyn ffrwyth,
un ddeg ar hugain, ac un dri ugain, ac un
gant.
21 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthynt, [h] A [h] Luc 8.
ddaw canwyll i'w dodi dan lestr, neu 16. a 11. 33.
dan wely? ac nid i'w gosod ar ganhwyll-
bren?
22 [i] Canys nid oes dim cuddiedig, a'r ni's [i] Mat. 10.
amlygir; ac ni bu ddim dirgel, ond fel y 26.
delai i eglurdeb. Luc 12. 2.
23 [k] Od oes gan neb glustiau i wrando, [k] Mat. 11.
gwrandawed. 15.
24 Ac efe a ddywedodd wrthynt,
Edrychwch beth a wrandawoch. [l] A pha [l] Mat. 7. 2.
fesur y mesuroch, y mesurir i chwi- Luc 6. 38.
thau; a chwanegir i chwi, y rhai a wran-
dewch.
25 [m] Canys yr hwn y mae ganddo, y [m] Mat. 13.
rhoddir iddo: a'r hwn nid oes ganddo, 12. a 25. 29.
ïe, yr hyn sydd ganddo a ddygir oddi Luc 8. 18.
arno. a 19. 26.
26 ¶ Ac efe a ddywedodd, Felly y mae
teyrnas Dduw, fel pe bwriai ddyn had i'r
ddaear;
27 A chysgu, a chodi nos a dydd, a'r
had yn egino ac yn tyfu, y modd ni's
gŵyr efe.
28 Canys y ddaear a ddwg ffrwyth o honi
ei hun: yn gyntaf yr eginyn, ar ol hynny y
dywysen, yna'r ŷd yn llawn yn y dy-
wysen.
29 A phan † ymddangoso'r ffrwyth, yn † Neu,
ebrwydd y rhydd efe y crymman ynddo, *addfedo*
am ddyfod y cynhauaf.
30 ¶ Ac efe a ddywedodd, [n] I ba beth [n] Mat. 13.
y cyffelybem deyrnas Dduw? neu ar ba 31.
ddammeg y gwnaem gyffelybrwydd o Luc 13. 18.
honi?
31 Megis gronyn o had mwstard *ydyw*,
yr hwn pan hauer yn y ddaear, sydd leiaf
o'r holl hadau sydd ar y ddaear.
32 Eithr wedi'r hauer, y mae yn tyfu,
ac yn myned yn fwy nâ'r holl lysiau, ac
efe a ddwg ganghennau mawrion: fel y
gallo ehediaid yr awyr nythu dan ei gysgod
ef.
33 [o] Ac â chyfryw ddamhegion lawer y [o] Mat. 13.
traethodd efe iddynt y gair, hyd y gallent *ei* 34.
wrando. Ioan 16. 12.
34 Ond heb ddammeg ni lefarodd wrth-
ynt: ac o'r neilldu i'w ddisgyblion efe a
eglurodd bob peth.
35 ¶ [p] Ac efe a ddywedodd wrthynt y [p] Mat. 8.
dwthwn hwnnw, wedi ei hwyrhâu hi, Awn 18, 23.
trosodd i'r tu draw. Luc 8. 22.
36 Ac wedi iddynt ollwng ymaith y
dyrfa, hwy a'i cymmerasant ef fel yr oedd
yn y llong: ac yr oedd hefyd longau eraill
gyd ag ef.
37 Ac fe a gyfododd tymmestl fawr o
wynt, a'r tonnau a daflasant i'r llong, hyd
onid oedd hi yn llawn weithian.
38 Ac yr oedd efe yn y pen ol i'r llong,
yn cysgu ar obennydd: a hwy a'i deffroi-

sant ef, ac a ddywedasant wrtho, Athraw, ai difatter gennyt ein colli ni?

39 Ac efe a gododd i fynu, ac a geryddodd y gwŷnt, ac a ddywedodd wrth y môr, Gostega, distawa. A'r gwŷnt a ostegodd, a bu tawelwch mawr.

40 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Paham yr ydych mor ofnog? pa fodd nad oes gennych ffydd?

41 Eithr hwy a ofnasant yn ddirfawr, ac a ddywedasant wrth eu gilydd, Pwy yw hwn, gan fod y gwŷnt a'r môr yn ufuddhâu iddo?

## PEN. V.

*1 Crist yn gwaredu'r dyn yr oedd ynddo leng o gythreuliaid: 13 hwythau yn myned i'r moch. 25 Y mae efe yn iachâu'r wraig o'r diferlif gwaed, 35 ac yn cyfodi merch Jairus o farw i fyw.*

31. [a] Mat. 8. 28. Luc 8. 26. A [a] Hwy a ddaethant i'r tu hwnt i'r môr, i wlad y Gadareniaid.

2 Ac ar ei ddyfodiad ef allan o'r llong, yn y man cyfarfu ag ef o blith y beddau ddyn ag yspryd aflan ynddo,

3 Yr hwn oedd â'i drigfan ym mhlith y beddau; ac ni allai neb, ie, â chadwynau, ei rwymo ef:

4 O herwydd ei rwymo ef yn fynych â llyffetheiriau, ac â chadwynau, a darnio o hono'r cadwynau, a dryllio'r llyffetheiriau: ac ni allai neb ei ddofi ef.

5 Ac yn wastad nos a dydd yr oedd efe yn llefain yn y mynyddoedd, ac ym mhlith y beddau, ac yn ei dorri ei hun â cherrig.

6 Ond pan ganfu efe yr Iesu o hirbell, efe a redodd ac a'i haddolodd ef;

7 A chan waeddi â llef uchel, efe a ddywedodd, Beth sydd i mi *a wnelwyf* â thi, Iesu Fab y Duw goruchaf? yr ydwyf yn dy dynghedu trwy Dduw, na phoenech fi.

8 (Canys dywedasai wrtho, Yspryd aflan, dos allan o'r dyn.)

9 Ac efe a ofynodd iddo, Beth *yw* dy enw? Yntau a attebodd, gan ddywedyd, Lleng *yw* fy enw: am fod llawer o honom.

10 Ac efe a fawr-ymbiliodd ag ef, na yrrai efe hwynt allan o'r wlad.

11 Ond yr oedd yno ar y mynyddoedd genfaint fawr o foch yn pori.

12 A'r holl gythreuliaid a attolygasant iddo, gan ddywedyd, Danfon ni i'r moch, fel y gallom fyned i mewn iddynt.

13 Ac yn y man y caniattaodd yr Iesu iddynt. A'r ysprydion aflan, wedi myned allan, a aethant i mewn i'r moch: a rhuthrodd y genfaint dros y dibyn i'r môr (*ac* ynghylch dwy fil oeddynt) ac a'u boddwyd yn y môr.

14 A'r rhai a borthent y moch a ffoisant, ac a fynegasant *y peth* yn y ddinas, ac yn y wlad: a hwy a aethant allan i weled beth oedd hyn a wnaethid.

15 A hwy a ddaethant at yr Iesu, ac a welsant y cythreulig yr hwn y buasai y lleng ynddo, yn eistedd, ac yn ei ddillad, ac yn ei iawn bwyll; ac a ofnasant.

16 A'r rhai a welsant a fynegasant iddynt pa fodd y buasai i'r cythreulig, ac am y moch.

[b] Mat. 8. 34. Act. 16. 39. 17 A [b] dechreuasant ddymuno arno ef fyned ymaith o'u goror hwynt.

[c] Luc 8. 38. 18 Ac efe yn myned i'r llong, [c] yr hwn y buasai y cythraul ynddo a ddymunodd arno gael bod gyd ag ef.

19 Ond yr Iesu ni adawodd iddo; eithr dywedodd wrtho, Dos i'th dŷ at yr eiddot, a mynega iddynt pa faint a wnaeth yr Arglwydd erot, ac iddo drugarhâu wrthyt.

20 Ac efe a aeth ymaith, ac a ddechreuodd gyhoeddi trwy Decapolis, pa bethau eu maint a wnaethai'r Iesu iddo. A phawb a ryfeddasant.

21 ¶ [d] Ac wedi i'r Iesu drachefn fyned mewn llong i'r lan arall, ymgasglodd tyrfa fawr atto: ac yr oedd efe wrth y môr. [d] Mat. 9. 1. Luc 8. 40.

22 [e] Ac wele, un o bennaethiaid y synagog a ddaeth, a'i enw Jairus: a phan ei gwelodd, efe a syrthiodd wrth ei draed ef. [e] Mat. 9. 18. Luc 8. 41.

23 Ac efe a fawr-ymbiliodd ag ef, gan ddywedyd, Y mae fy merch fechan ar drangc: *attolwg i ti* ddyfod a dodi dy ddwylaw arni, fel yr iachâer hi; a byw fydd.

24 A'r *Iesu* a aeth gyd ag ef: a thyrfa fawr a'i canlynodd ef, ac a'i gwasgasant ef.

25 A rhyw wraig, [f] yr hon a fuasai mewn diferlif gwaed ddeuddeng mlynedd, [f] Lef. 15. 25.

26 Ac a oddefasai lawer gan laweroedd o feddygon, ac a dreuliasai gymmaint ag oedd ar ei helw, ac ni chawsai ddim llesâd, eithr yn hytrach myned waeth-waeth,

27 Pan glybu hi am yr Iesu, hi a ddaeth yn y dyrfa o'r tu ol, ac a gyffyrddodd â'i wisg ef.

28 Canys hi a ddywedasai, Os cyffyrddaf â'i ddillad ef, iach fyddaf.

29 Ac yn ebrwydd y sychodd ffynhonnell ei gwaed hi: a hi a wybu yn ei chorph ddarfod ei hiachâu o'r pla.

30 Ac yn y fan yr Iesu, gan wybod ynddo ei hun fyned [g] rhinwedd allan o hono, a drodd yn y dyrfa, ac a ddywedodd, Pwy a gyffyrddodd â'm dillad? [g] Luc 6. 19.

31 A'i ddisgyblion a ddywedasant wrtho, Ti a weli'r dyrfa yn dy wasgu, ac a ddywedi di, Pwy a'm cyffyrddodd?

32 Ac yntau a edrychodd o amgylch, i weled yr hon a wnaethai hyn.

33 Ond y wraig, gan ofni a chrynu, yn gwybod beth a wnaethid ynddi, a ddaeth ac a syrthiodd ger ei fron ef, ac a ddywedodd iddo'r holl wirionedd.

34 Ac efe a ddywedodd wrthi, *Ha* ferch, [h] dy ffydd a'th iachaodd: dos mewn heddwch, a bydd iach o'th bla. [h] Pen. 10. 52.

35 Ac efe etto yn llefaru, daeth *rhai* o *dŷ* pennaeth y synagog, gan ddywedyd, Bu farw dy ferch: i ba beth etto'r aflonyddi'r Athraw?

36 A'r Iesu, yn ebrwydd wedi clywed y gair a ddywedasid, a ddywedodd wrth bennaeth y synagog, Nac ofna; cred yn unig.

37 Ac ni adawodd efe neb i'w ddilyn, ond Petr, ac Iago, ac Ioan brawd Iago.

38 Ac efe a ddaeth i dŷ pennaeth y synagog, ac a ganfu'r cynnwrf, a'r rhai oedd yn wylo ac yn ochain llawer.

39 Ac wedi iddo fyned i mewn, efe a ddywedodd wrthynt, Paham y gwnewch gynnwrf, ac yr wylwch? ni bu farw yr eneth, eithr [i] cysgu *y mae.* [i] Ioan 11. 11.

40 A hwy a'i gwatwarasant ef. Ond efe, wedi bwrw pawb allan, a gymmerth dad yr eneth a'i mam, a'r rhai oedd gyd ag ef, ac a aeth i mewn lle'r oedd yr eneth yn gorwedd.

41 Ac wedi ymaflyd yn llaw'r eneth, efe a ddywedodd wrthi, Talitha, cwmi; yr hyn o'i gyfieithu yw, Yr eneth, (yr wyf yn dywedyd wrthyt) cyfod.

42 Ac yn y fan y cyfododd yr eneth, ac a
rodiodd: canys deuddeng mlwydd *oed* yd-
oedd hi. A synnu a wnaeth arnynt â syn-
[k] Mat. 8. 4. dod mawr.
a 9. 30. a 12. 16. a 17. 9. 43 Ac [k] efe a orchymynodd iddynt yn
gaeth, na chai neb wybod hyn; ac a ddy-
Luc 5. 14. wedodd am roddi peth iddi i'w fwytta.

## PEN. VI.

1 *Diystyru Crist gan ei wladwŷr ei hun.* 7 *Y mae efe yn rhoddi i'r deuddeg awdurdod ar ysprydion aflan.* 14 *Amryw dyb am Grist.* 27 *Torri pen Ioan Fedyddiwr:* 29 *a'i gladdu.* 30 *Yr apostolion yn dychwelyd o bregethu.* 34 *Gwyrthiau y pum torth bara, a'r ddau bysgodyn.* 48 *Crist yn rhodio ar y môr:* 53 *ac yn iachâu pawb a gyffyrddai ag ef.*

31.
[a] Mat. 13. 54. AC [a] efe a aeth ymaith oddi yno, ac a
ddaeth i'w wlad ei hun; a'i ddisgyb-
Luc 4. 16. lion a'i canlynasant ef.
2 Ac wedi dyfod y sabbath, efe a ddc-
chreuodd athrawiaethu yn y synagog: a
synnu a wnaeth llawer a'i clywsant, gan
[b] Ioan 6. 42. ddywedyd, [b] O ba le y daeth y pethau hyn
i hwn? a pha ddoethineb *yw* hon a roed
iddo, fel y gwnaid y cyfryw nerthoedd trwy
ei ddwylaw ef?
[c] Ioan 2. 12. 3 Onid hwn yw'r saer, mab Mair, [c] brawd
Mat. 12. 46. Iago, a Joses, a Judas, a Simon? ac onid
Gal. 1. 19. yw ei chwiorydd ef yma yn ein plith ni? A
[d] Mat. 11. 6. hwy [d] a rwystrwyd o'i blegid ef.
4 Ond yr Iesu a ddywedodd wrthynt,
[e] Ioan 4. 44. Nid [e] yw prophwyd yn ddi-bris ond yn ei
wlad ei hun, ac ym mhlith ei genedl ei hun,
ac yn ei dŷ ei hun.
[f] Gen. 19. 22. a 32. 25. 5 [f] Ac ni allai efe yno wneuthur dim
gwyrthiau, ond rhoi ei ddwylaw ar ychydig
Mat. 13. 58. gleifion, a'u hiachâu *hwynt*.
Pen. 9. 23. 6 Ac [g] efe a ryfeddodd o herwydd eu
[g] Esay 59. 16. hanghrediniaeth: [h] ac a aeth i'r pentrefi
oddi amgylch, gan athrawiaethu.
[h] Mat. 9. 35. 7 ¶ Ac [i] efe a alwodd y deuddeg, ac a
Luc 13. 22. ddechreuodd eu danfon hwynt bob yn
[i] Mat. 10. 1. ddau a dau; ac a roddes iddynt awdurdod
*ar* ysprydion aflan;
Pen. 3. 14. Luc 9. 1. 8 Ac a orchymynodd iddynt, na chymme-
rent ddim i'r daith, ond llaw-ffon yn unig;
nac ysgrepan, na bara, nac arian yn *eu* pyr-
sau:
[k] Act. 12. 8. 9 Eithr [k] *eu bod* â sandalau am eu traed,
ac na wisgent ddwy bais.
10 Ac efe a ddywedodd wrthynt, I ba le
bynnag yr eloch i mewn i dŷ, arhoswch yno
† *o'r fan honno.* hyd onid eloch ymaith † oddi yno.
[l] Mat. 10. 14. 11 A [l] pha rai bynnag ni'ch derbyniant,
ac ni'ch gwrandawant, pan eloch oddi yno,
Luc 10. 10. [m] ysgydwch y llwch *a fyddo* dan eich traed,
[m] Act. 13. 51. a 18. 6. yn dystiolaeth iddynt. Yn wir meddaf i
chwi, Y bydd esmwythach i Sodom ‡ a
‡ *Gr. neu.* Gomorrah yn nydd y farn, nag i'r ddinas
honno.
12 A hwy a aethant allan, ac a bregeth-
asant ar iddynt edifarhâu.
13 Ac a fwriasant allan lawer o gythreul-
[n] Iago 5. 14. iaid, ac [n] a eliasant ag olew lawer o gleif-
ion, ac a'u hiachasant.
[o] Mat. 14. 1. 14 ¶ [o] A'r brenhin Herod a glybu (canys
Luc 9. 7. cyhoedd ydoedd ei enw ef) ac efe a ddywe-
dodd, Ioan Fedyddiwr a gyfododd o feirw,
ac am hynny y mae nerthoedd yn gweithio
ynddo ef.
[p] Mat. 16. 14. 15 [p] Eraill a ddywedasant, Mai Elïas yw.
Ac eraill a ddywedasant, Mai prophwyd
yw, neu megis un o'r prophwydi.
16 Ond Herod, pan glybu, a ddywedodd,
Mai 'r Ioan a dorrais i ei ben yw hwn; efe a
gyfododd o feirw.
17 Canys [q] yr Herod hwn a ddanfonasai [q] Luc 3. 19.
ac a ddalhasai Ioan, ac a'i rhwymasai ef yn Mat. 14. 3.
y carchar, o achos Herodias gwraig Phylip Luc 3. 19.
ei frawd; am iddo ei phriodi hi.
18 Canys Ioan a ddywedasai wrth Herod, [r] Lef. 18. 16. a 20. 21.
[r] Nid cyfreithlawn i ti gael gwraig dy frawd.
19 Ond Herodias a ddaliodd wg iddo, ac
a chwennychodd ei ladd ef; ac ni's gallodd.
20 Canys Herod oedd [s] yn ofni Ioan, gan [s] Mat. 14. 5. a 21. 26.
wybod ei fod ef yn wr cyfiawn, ac yn sanc-
taidd; ac a'i parchai ef: ac wedi iddo ei
glywed ef, efe a wnai lawer o bethau, ac a'i
gwrandawai ef yn ewyllysgar.
21 Ac wedi dyfod diwrnod cyfaddas, pan
wnaeth Herod ar ei ddydd genedigaeth
swpper i'w bennaethiaid, a'i flaenoriaid, a
goreugwŷr Galilea:
22 Ac wedi i ferch Herodias honno ddy- 32.
fod i mewn, a dawnsio, a boddhâu He-
rod, a'r rhai oedd yn eistedd gyd ag ef, y
brenhin a ddywedodd wrth y llangces, Go-
fyn i mi y peth a fynnech, ac mi a'i rhoddaf
i ti.
23 Ac efe a dyngodd iddi, [t] Beth bynnag [t] Esth. 5. 3, 6.
a ofynech i mi, mi a'i rhoddaf i ti, hyd
hanner fy nheyrnas.
24 A hithau a aeth allan, ac a ddywe-
dodd wrth ei mam, Pa beth a ofynaf?
A hithau a ddywedodd, Pen Ioan Fedyd-
diwr.
25 Ac yn y fan hi a aeth i mewn ar frys
at y brenhin, ac a ofynodd, gan ddywedyd,
Mi a fynnwn i ti roi i mi allan o law, ar
ddysgl, ben Ioan Fedyddiwr.
26 A'r brenhin yn drist iawn, ni chwen-
nychai ei bwrw hi heibio, o herwydd y
llwon, a'r rhai oedd yn eistedd gyd ag
ef.
27 Ac yn y man y brenhin a ddanfonodd
† ddihenyddwr, ac a orchymynodd ddwyn † *Neu, un o'i osgordd.*
ei ben ef.
28 Ac yntau a aeth, ac a dorrodd ei ben
ef yn y carchar, ac a ddug ei ben ef ar
ddysgl, ac a'i rhoddes i'r llangces; a'r
llangces a'i rhoddes ef i'w mam.
29 A phan glybu ei ddisgyblion ef, hwy
a ddaethant ac a gymmerasant ei gorph ef,
ac a'i dodasant mewn bedd.
30 ¶ [u] A'r apostolion a ymgasglasant at [u] Luc 9. 10.
yr Iesu, ac a fynegasant iddo yr holl bethau,
y rhai a wnaethent, ‡ hefyd a'r rhai a ath- ‡ *ynghŷd.*
rawiaethasent.
31 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Deu-
wch eich hunain i le anghyfannedd o'r
neilldu, a gorphwyswch ennyd. Canys
[x] llawer oedd yn dyfod ac yn myned, fel [x] Pen. 3. 20.
nad oeddynt yn cael ennyd cymmaint ag i
fwytta.
32 [y] A hwy a aethant i le anghyfannedd [y] Mat. 14. 13.
mewn llong o'r neilldu.
33 A'r bobloedd a'u gwelsant hwy yn
myned ymaith, a llawer a'i hadnabuant ef,
ac a redasant yno ar draed o'r holl ddinas-
oedd, ac a'u rhag-flaenasant hwynt, ac a
ymgasglasant atto ef.
34 [z] A'r Iesu, wedi myned allan, a welodd [z] Mat. 9. 36. a 14. 14.
dyrfa fawr, ac a dosturiodd wrthynt, am
eu bod fel defaid heb ganddynt fugail: ac
[a] a ddechreuodd ddysgu iddynt lawer o be- [a] Luc 9. 11.
thau.
35 [b] Ac yna wedi ei myned hi yn llawer [b] Mat. 14. 15.
o'r dydd, y daeth ei ddisgyblion atto ef, gan Luc 9. 12.
ddywedyd, Y lle sydd anial, ac weithian y
*mae hi* yn llawer o'r dydd:

36 Gollwng hwynt ymaith, fel yr elont i'r wlad oddi amgylch, ac i'r pentrefi, ac y prynont iddynt eu hunain fara: canys nid oes ganddynt ddim i'w fwytta.

37 Ond efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Rhoddwch chwi iddynt *beth* i'w fwytta. A hwy a ddywedasant wrtho, A awn ni a phrynu gwerth deucan ceiniog o fara, a'i roddi iddynt i'w fwytta?

38 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa sawl torth sydd gennych? ewch ac edrychwch. Ac wedi iddynt wybod, hwy a ddywedasant, Pump, a dau bysgodyn.

39 Ac efe a orchymynodd iddynt beri i bawb eistedd yn fyrddeidiau ar y glaswellt.

40 A hwy a eisteddasant yn finteioedd a minteioedd, o fesur cannoedd, ac o fesur deg a deugeiniau.

41 Ac wedi cymmeryd y pum torth a'r ddau bysgodyn, gan edrych i fynu tu a'r nef, efe a fendithiodd, ac a dorrodd y bara, ac a'u rhoddes at ei ddisgyblion, i'w gosod ger eu bronnau hwynt: a'r ddau bysgodyn a rannodd efe rhyngddynt oll.

42 A hwy oll a fwyttasant, ac a gawsant ddigon.

43 A chodasant ddeuddeg basgedaid yn llawn o'r briw-fwyd, ac o'r pysgod.

44 A'r rhai a fwyttasent o'r torthau, oedd ynghylch pum-mil o wŷr.

c Mat. 14. 22. Ioan 6. 17. † ar gyfer.
45 [c] Ac yn y man efe a gymhellodd ei ddisgyblion i fyned i'r llong, a myned o'r blaen i'r lan arall † i Bethsaida, tra fyddai efe yn gollwng ymaith y bobl.

46 Ac wedi iddo eu danfon hwynt ymaith, efe a aeth i'r mynydd i weddio.

d Mat. 14. 23.
47 ¶ A [d] phan aeth hi yn hwyr, yr oedd y llong ar ganol y môr, ac yntau ei hun ar y tir.

48 Ac efe a'u gwelai hwynt yn flin arnynt yn rhwyfo: (canys y gwynt oedd yn eu herbyn) Ac ynghylch y bedwaredd wylfa o'r nos efe a ddaeth attynt, gan rodio ar y môr; ac [e] a fynnasai fyned heibio iddynt.
e Edrych Luc 24. 28.

49 Ond pan welsant hwy ef yn rhodio ar y môr, hwy a dybiasant mai drychiolaeth ydoedd: a *hwy* a waeddasant.

50 (Canys hwynt oll a'i gwelsant ef, ac a ddychrynasant) Ac yn y man yr ymddiddanodd efe â hwynt, ac y dywedodd wrthynt, Cymmerwch gysur: myfi yw; nac ofnwch.

51 Ac efe a aeth i fynu attynt i'r llong; a'r gwŷnt a dawelodd. A hwy a synnasant ynddynt eu hunain yn fwy o lawer, ac a ryfeddasant.

52 Oblegid ni ddeallasant am y torthau *hynny*: canys yr oedd eu calon hwynt wedi caledu.

f Mat. 14. 34.
53 Ac [f] wedi iddynt ddyfod trosodd, hwy a ddaethant i dir Gennesaret, ac a laniasant.

54 Ac wedi eu myned hwynt allan o'r llong, hwy a'i hadnabuant ef yn ebrwydd.

55 Ac wedi iddynt redeg trwy gwbl o'r goror hwnnw, hwy a ddechreuasant ddwyn oddi amgylch mewn gwelyau rai cleifion, pa le bynnag y clywent ei fod ef.

56 Ac i ba le bynnag yr elai efe i mewn, i bentrefi, neu ddinasoedd, neu ‡ wlad, hwy a osodent y cleifion yn yr heolydd, ac a attolygent iddo [g] gael o honynt gyffwrdd cymmaint ag ag ymyl ei wisg ef: a chynnifer ag a gyffyrddasant § ag ef, a iachawyd.
‡ *feusydd.* g Pen. 5. 27, 28. Act. 19. 12. § Neu, *hi.*

## PEN. VII.

*1 Y Phariseaid yn beio ar y disgyblion, am fwytta heb ymolchi: 8 yn torri gorchymyn Duw trwy draddodiadau dynion. 14 Nad yw bwyd yn halogi dyn. 24 Crist yn iachâu merch y wraig o Syrophenisia oddi wrth ysbryd aflan; 31 ac un oedd fyddar, ac ag attal dywedyd arno.*

YNA [a] yr ymgasglodd atto'r Phariseaid, a rhai o'r ysgrifenyddion a ddaethai o Jerusalem.
32. a Mat. 15. 1.

2 A phan welsant rai o'i ddisgyblion ef â dwylaw † cyffredin (hynny ydyw, heb olchi) yn bwytta bwyd, hwy a argyoeddasant.
† Neu, *halogedig.*

3 Canys y Phariseaid, a'r holl Iuddewon, oni bydd iddynt olchi eu dwylaw yn ‡ fynych, ni fwyttânt; gan ddal traddodiad yr hynafiaid.
‡ Neu, *ddiwyd.*

4 A *phan ddelont* o'r farchnad, oni bydd iddynt ymolchi, ni fwyttânt. A llawer o bethau eraill y sydd, y rhai a gymmerasant i'w cadw; *megis* golchi cwppanau, ac ystenau, ac efyddynau, a § byrddau.
§ *gwelyau.*

5 Yna y gofynodd y Phariseaid a'r ysgrifenyddion iddo, Paham nad yw dy ddisgyblion di yn rhodio yn ol traddodiad yr hynafiaid, ond bwytta eu bwyd â dwylaw heb olchi?

6 Ond efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Da y prophwydodd Esaias am danoch chwi, ragrithwyr, fel y mae yn ysgrifenedig, [b] Y mae y bobl hyn yn fy anrhydeddu â'u gwefusau, ond eu calon sydd bell oddi wrthyf.
b Esay 29. 13. Mat. 15. 8.

7 Eithr ofer y maent yn fy addoli, gan ddysgu *yn lle* dysgeidiaeth, orchymynion dynion.

8 Canys, gan adael heibio orchymyn Duw, yr ydych yn dal traddodiad dynion; sef golchiadau ystenau a chwppanau: a llawer eraill o'r cyffelyb bethau yr ydych yn eu gwneuthur.

9 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Gwŷch yr ydych yn rhoi heibio orchymyn Duw, fel y cadwoch eich traddodiad eich hunain.

10 Canys Moses a ddywedodd, [c] Anrhydedda dy dad a'th fam: [d] a'r hwn a felldithio dad neu fam, bydded farw'r farwolaeth.
c Exod. 20. 12. Deut. 5. 16. d Exod. 21. 17. Lef. 20. 9. Diar. 20. 20.

11 Ac meddwch chwithau, Os dywaid dyn wrth ei dad neu ei fam, [e] Corban, hynny yw, Rhodd, trwy ba beth bynnag y ceit les oddi wrthyf fi; *difai fydd*.
e Mat. 15. 5. a 23. 18.

12 Ac nid ydych mwyach yn gadael iddo wneuthur dim i'w dad neu i'w fam:

13 Gan ddirymmu gair Duw â'ch traddodiad eich hunain, yr hwn a draddodasoch chwi: a llawer o gyffelyb bethau a hynny yr ydych yn eu gwneuthur.

14 ¶ A [f] chwedi galw atto yr holl dyrfa, efe a ddywedodd wrthynt, Gwrandewch chwi oll arnaf, a deallwch.
f Mat. 15. 10.

15 Nid oes dim allan o ddyn yn myned i mewn iddo, a ddichon ei halogi ef: eithr y pethau sy'n dyfod allan o hono, y rhai hynny yw'r pethau sy'n halogi dyn.

16 [g] Od oes gan neb glustiau i wrando, gwrandawed.
g Mat. 11. 15.

17 [h] A phan ddaeth efe i mewn i'r tŷ oddi wrth y bobl, ei ddisgyblion a ofynasant iddo am y ddammeg.
h Mat. 15. 15.

18 Yntau a ddywedodd wrthynt, Ydych chwithau hefyd mor ddi-ddeall? Oni wyddoch am bob peth oddi allan a êl i mewn i ddyn, na all hynny ei halogi ef;

19 Oblegid nid yw yn myned i'w galon ef, ond i'r bol; ac yn myned allan i'r geudy, gan garthu'r holl fwydydd?

20 Ac efe a ddywedodd, Yr hyn sydd yn dyfod allan o ddyn, hynny sydd yn halogi dyn.

[i] Gen. 6. 5. a 8. 21. Mat. 15. 19.
21 [i] Canys oddi mewn, allan o galon dynion, y daw drwg-feddyliau, tor-priodasau, puteindra, llofruddiaeth,

22 Lladradau, cybydd-dod, drygioni, twyll, anlladrwydd, drwg-lygad, cabledd, balchder, ynfydrwydd.

23 Yr holl ddrwg bethau hyn sydd yn dyfod oddi mewn, ac yn halogi dyn.

[k] Mat. 15. 21.
24 ¶ Ac [k] efe a gyfododd oddi yno, ac a aeth i gyffiniau Tyrus a Sidon; ac a aeth i mewn i dŷ, ac ni fynnasai i neb wybod: eithr ni allai efe fod yn guddiedig.

25 Canys pan glybu gwraig, yr hon yr oedd ei merch fechan ag yspryd aflan ynddi, son am dano, hi a ddaeth ac a syrthiodd wrth ei draed ef:

26 (A Groeges oedd y wraig, Syrophenisiad o genedl) A hi a attolygodd iddo fwrw'r cythraul allan o'i merch.

27 A'r Iesu a ddywedodd wrthi, Gâd yn gyntaf i'r plant gael eu digoni: canys nid cymmwys yw cymmeryd bara'r plant, a'i daflu i'r cenawon cwn.

28 Hithau a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Gwir, O Arglwydd: *ac* etto y mae y cenawon dan y bwrdd yn bwytta o friwsion y plant.

29 Ac efe a ddywedodd wrthi, Am y gair hwnnw dos ymaith; aeth y cythraul allan o'th ferch.

30 Ac wedi iddi fyned i'w thŷ, hi a gafodd fyned o'r cythraul allan, a'i merch wedi ei bwrw ar y gwely.

[l] Mat. 15. 29.
31 ¶ [l] Ac efe a aeth drachefn ymaith o dueddau Tyrus a Sidon, ac a ddaeth hyd for Galilea, trwy ganol terfynau Decapolis.

[m] Mat. 9. 32.
32 A [m] hwy a ddygasant atto un byddar, ag attal dywedyd arno; ac a attolygasant iddo ddodi ei law arno ef.

33 Ac wedi iddo ei gymmeryd ef o'r neilldu allan o'r dyrfa, efe a estynodd ei fysedd yn ei glustiau ef, ac [n] wedi iddo boeri, efe a gyffyrddodd â'i dafod ef;

[n] Pen. 8. 23. Ioan 9. 6.
[o] Ioan 11. 41. a 17. 1.
[p] Ioan 11. 33, 38.
34 A [o] chan edrych tu a'r nef, efe [p] a ocheneidiodd, ac a ddywedodd wrtho, Ephphatha, hynny yw, Ymagor.

35 Ac yn ebrwydd ei glustiau ef a agorwyd, a rhwym ei dafod a ddattodwyd; ac efe a lefarodd yn eglur.

[q] Pen. 5. 43.
36 Ac [q] efe a waharddodd iddynt ddywedyd i neb: ond po mwyaf y gwaharddodd efe iddynt, mwy o lawer y cyhoeddasant.

37 A synnu a wnaethant yn anfeidrol, gan ddywedyd, Da y gwnaeth efe bob peth: y mae efe yn gwneuthur i'r byddair glywed, ac i'r mudion † ddywedyd.

† *lefaru.*

## PEN. VIII.

1 *Crist yn porthi'r bobl yn rhyfeddol:* 10 *yn naccâu rhoddi arwydd i'r Phariseaid:* 14 *yn rhybuddio ei ddisgyblion i ochelyd surdoes y Phariseaid, a surdoes Herod:* 22 *yn rhoddi ei olwg i ddyn dall:* 27 *yn cydnabod mai efe yw Crist, yr hwn a ddioddefai, ac a gyfodai eilwaith:* 34 *ac yn annog i fod yn ddioddefgar mewn erlid o achos proffesu'r efengyl.*

YN y dyddiau hynny, [a] pan oedd y dyrfa yn fawr iawn, ac heb ganddynt ddim i'w fwytta, y galwodd yr Iesu ei ddisgyblion atto, ac a ddywedodd wrthynt, 32.
[a] Mat. 15. 32.

2 Yr wyf fi yn tosturio wrth y dyrfa, oblegid y maent hwy dridiau weithian yn aros gyd â mi, ac nid oes ganddynt ddim i'w fwytta:

3 Ac os gollyngaf hwynt ymaith ar eu cythlwng i'w teiau eu hunain, hwy a lewygant ar y ffordd: canys rhai o honynt a ddaeth o bell.

4 A'i ddisgyblion ef a'i hattebasant, O ba le y gall neb ddigoni y rhai hyn â bara yma yn yr anialwch?

5 Ac efe a ofynodd iddynt, Pa sawl torth sydd gennych? A hwy a ddywedasant, Saith.

6 Ac efe a orchymynodd i'r dyrfa eistedd ar y llawr: ac a gymmerodd y saith dorth, ac a ddiolchodd, ac a'u torrodd *hwynt*, ac a'u rhoddes i'w ddisgyblion, fel y gosodent *hwynt* ger eu bronnau; a gosodasant *hwynt* ger bron y bobl.

7 Ac yr oedd ganddynt ychydig bysgod bychain: ac [b] wedi iddo fendithio, efe a barodd ddodi y rhai hynny hefyd ger eu bronnau *hwynt*.
[b] Mat. 14. 19.

8 A hwy a fwyttasant, ac a ddigonwyd: a hwy a godasant o'r briw-fwyd gweddill, saith fasgedaid.

9 A'r rhai a fwyttasent oedd ynghylch pedair mil: ac efe a'u gollyngodd hwynt ymaith.

10 ¶ [c] Ac yn y man, wedi iddo fyned i long gyd â'i ddisgyblion, efe a ddaeth i barthau Dalmanutha.
[c] Mat. 15. 39.

11 A'r [d] Phariseaid a ddaethant allan, ac a ddechreuasant ymholi ag ef, gan geisio ganddo arwydd o'r nef, gan ei demtio.
[d] Mat. 12. 38. a 16. 1. Ioan 6. 30.

12 Yntau, gan ddwys-ocheneidio yn ei yspryd, a ddywedodd, Beth a wna'r genhedlaeth yma yn ceisio arwydd? Yn wir meddaf i chwi, Ni roddir arwydd i'r genhedlaeth yma.

13 Ac efe a'u gadawodd hwynt, ac a aeth i'r llong drachefn, ac a dynnodd ymaith i'r lan arall.

14 ¶ [e] A'r *disgyblion* a adawsent yn anghof gymmeryd bara, ac nid oedd ganddynt gyd â hwynt ond un dorth yn y llong.
[e] Mat. 16. 5.

15 [f] Yna y gorchymynodd efe iddynt, gan ddywedyd, Gwyliwch, ymogelwch rhag surdoes y Phariseaid, a surdoes Herod.
[f] Mat. 16. 6. Luc 12. 1.

16 Ac ymresymmu a wnaethant y naill wrth y llall, gan ddywedyd, *Hyn sydd* [g] oblegid nad oes gennym fara.
[g] Mat. 16. 7.

17 A phan wybu'r Iesu, efe a ddywedodd wrthynt, Pa ymresymmu'r ydych, am nad oes gennych fara? [h] onid ydych chwi etto yn ystyried, nac yn deall? ydyw eich calon etto gennych wedi caledu?
[h] Pen. 6. 52.

18 A chennych lygaid, oni welwch? a chennych glustiau, oni chlywch? ac onid ydych yn cofio?

19 [i] Pan dorrais y pum torth *hynny* ym mysg y pum mil, pa sawl basgedaid yn llawn o friw-fwyd a godasoch i fynu? Dywedasant wrtho, Deuddeg.
[i] Mat. 14. 20. Pen. 6. 43. Ioan 6. 13.

20 A [k] phan *dorrais* y saith ym mhlith y pedair mil, llonaid pa sawl basged o friw-fwyd a godasoch i fynu? A hwy a ddywedasant, Saith.
[k] Mat. 15. 37. Adn. 8.

21 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa fodd nad ydych yn deall?

22 ¶ Ac efe a ddaeth i Bethsaida; a bwy
a ddygasant atto un dall, ac a ddeisyfiasant
arno ar iddo gyffwrdd ag ef.
23 Ac wedi ymaflyd yn llaw y dall, efe
Pen. 7. a'i tywysodd ef allan o'r dref: ac l wedi
33. iddo boeri ar ei lygaid ef, a dodi ei ddwy-
law arno, efe a ofynodd iddo, a oedd efe yn
gweled dim.
24 Ac wedi edrych i fynu, efe a ddywed-
odd, Yr ydwyf yn gweled dynion megis
preniau yn rhodio.
25 Wedi hynny y gosododd efe *ei* ddwy-
law drachefn ar ei lygaid ef, ac a barodd
iddo edrych i fynu: ac efe a gafodd ei olwg,
ac efe a welai bawb o bell, ac yn eglur.
26 Ac efe a'i hanfonodd ef adref i'w dŷ,
m Mat. 8. gan ddywedyd, Na ddos i'r dref, ac m na
4. ddywaid i neb yn y dref.
Pen. 5. 43. 27 ¶ n A'r Iesu a aeth allan, efe a'i ddis-
n Mat. 16. gyblion, i drefi Cesarea Philippi: ac ar y
13. Luc 9. 18. ffordd efe a ofynodd i'w ddisgyblion, gan
ddywedyd wrthynt, Pwy y mae dynion yn
dywedyd fy mod i?
o Mat. 14. 28 A hwy a attebasant, o Ioan Fedyddiwr:
2. a rhai, Elïas; ac eraill, Un o'r prophwydi.
29 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ond
pwy yr ydych chwi yn dywedyd fy mod i?
A Phetr a attebodd ac a ddywedodd wrtho,
Ti yw 'r Crist.
30 Ac efe a orchymynodd iddynt na ddy-
† *hynny.* wedent i neb † am dano.
p Mat. 16. 31 Ac p efe a ddechreuodd eu dysgu
21. a 17. 22. hwynt, fod yn rhaid i Fab y dyn oddef
Luc 9. 22. llawer, a'i wrthod gan yr henuriaid, a'r
arch-offeiriaid, a'r ysgrifenyddion, a'i ladd,
ac wedi tridiau adgyfodi.
32 A'r ymadrodd hwnnw a ddywedodd
efe yn eglur. A Phetr a ymaflodd ynddo,
ac a ddechreuodd ei geryddu ef.
33 Eithr wedi iddo droi, ac edrych ar ei
ddisgyblion, efe a geryddodd Petr, gan ddy-
wedyd, Dos ymaith yn fy ol i, Satan; am
nad wyt yn synnied y pethau sy o Dduw,
ond y pethau sy o ddynion.
34 ¶ Ac wedi iddo alw atto y dyrfa, gyd
â'i ddisgyblion, efe a ddywedodd wrthynt,
q Mat. 10. q Y neb a fynno ddyfod ar fy ol i, ymwad-
38. a 16. 24. ed ag ef ei hun, a chyfoded ei groes, a di-
Luc 9. 23. a 14. 27. lyned fi.
r Ioan 12. 35 Canys r pwy bynnag a fynno gadw ei
25. einioes, a'i cyll hi; ond pwy bynnag a
gollo ei einioes er fy mwyn i a'r efengyl,
hwnnw a'i ceidw hi.
36 Canys pa lesâd i ddyn, os ynnill yr
holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?
37 Neu pa beth a rydd dyn yn gyfnewid
am ei enaid?
s Mat. 10. 38 Canys s pwy bynnag t a fyddo cywi-
33. lydd ganddo fi a'm geiriau yn yr odinebus
t Edrych Rhuf. 1. 16. a'r bechadurus genhedlaeth hon; bydd cy-
2 Tim. 1. 8. wilydd gan Fab y dyn yntau hefyd, pan
ddêl yngogoniant ei Dad, gyd â'r angylion
sanctaidd.

## PEN. IX.

*2 Gwedd-newidiad yr Iesu. 11 Efe yn dysgu ei ddisgyblion yngylch dyfodiad Elïas: 14 yn bwrw allan yspryd mud a byddar: 30 yn rhag-fynegi ei farwolaeth a'i adgyfodiad; 33 yn annog ei ddisgyblion i ostyngeiddrwydd: 38 gan erchi iddynt, na luddient y rhai nid ydynt yn eu herbyn, ac na roddent rwystr i neb o'r ffyddloniaid.*

32.
a Mat. 16. 28. AC efe a ddywedodd wrthynt, a Yn wir
Luc 9. 27. yr wyf yn dywedyd i chwi, fod rhai
o'r rhai sy yn sefyll yma, ni phrofant angau,
hyd oni welont deyrnas Dduw wedi dyfod
mewn nerth.
2 ¶ Ac b wedi chwe diwrnod, y cym- b Mat. 17. 1.
merth yr Iesu Petr, ac Iago, ac Ioan, ac a'u Luc 9. 28.
dug hwynt i fynydd uchel, eu hunain o'r
neilldu: ac efe a wedd-newidiwyd yn eu
gŵydd hwynt.
3 A'i ddillad ef a aethant yn ddisglair,
yn gannaid iawn fel eira; y fath ni fedr un
pannwr ar y ddaear eu cannu.
4 Ac ymddangosodd iddynt Elïas, gyd â
Moses: ac yr oeddynt yn ymddiddan â'r Iesu.
5 A Phetr a attebodd ac a ddywedodd
wrth yr Iesu, Rabbi, da yw i ni fod yma:
a gwnawn dair pabell; i ti un, ac i Moses
un, ac i Elïas un.
6 Canys ni's gwyddai beth yr oedd yn
ei ddywedyd: canys yr oeddynt wedi dy-
chrynu.
7 A daeth cwmmwl yn cysgodi drostynt
hwy: a llef a ddaeth allan o'r cwmmwl,
gan ddywedyd, Hwn yw fy anwyl Fab;
gwrandewch ef.
8 Ac yn ddisymmwth, pan edrychasant o
amgylch, ni welsant neb mwy, ond yr Iesu
yn unig gyd â hwynt.
9 A phan oeddynt yn dyfod i wared o'r
mynydd, efe a orchymynodd iddynt na
ddangosent i neb y pethau a welsent, hyd
pan adgyfodai Mab y dyn o feirw.
10 A hwy a gadwasant y gair gyd â
hwynt eu hunain, gan gyd-ymholi beth
yw 'r adgyfodi o feirw.
11 ¶ A hwy a ofynasant iddo, gan ddy-
wedyd, Paham y dywaid yr ysgrifenyddion,
c fod yn rhaid i Elïas ddyfod yn gyntaf? c Mal. 4.
12 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd 5. Mat. 17.
wrthynt, Elïas yn ddïau gan ddyfod yn 10.
gyntaf a edfryd bob peth; d a'r modd yr d Psal. 22.
ysgrifenwyd am Fab y dyn, y dioddefai 6.
lawer o bethau, ac e y dirmygid ef. Esay 53. 2, &c.
13 Eithr yr wyf yn dywedyd i chwi, Dan. 9. 26.
ddyfod f Elïas yn ddïau, a gwneuthur o e Phil. 2.
honynt iddo 'r hyn a fynnasant, fel yr ys- 7.
grifenwyd am dano. f Mat. 11
14 ¶ A phan ddaeth efe at *ei* ddisgyblion, 14. Luc 1. 17.
efe a welodd dyrfa fawr yn eu cylch hwynt,
a'r ysgrifenyddion yn cyd-ymholi â hwynt.
15 Ac yn ebrwydd yr holl dyrfa, pan
ganfuant ef, a ddychrynasant, a chan redeg
atto, a gyfarchasant iddo.
16 Ac efe a ofynodd i'r ysgrifenyddion,
Pa gyd-ymholi yr ydych † yn eich plith? † *â hwynt?*
17 Ac g un o'r dyrfa a attebodd ac a g Mat. 17.
ddywedodd, Athraw, mi a ddygais fy mab 14. Luc 9. 38.
attat, ag yspryd mud ynddo:
18 A pha le bynnag y cymmero ef, efe a'i
‡ rhwyga; ac yntau a fwrw ewŷn, ac a ys- ‡ *maedda.*
gyrnyga ddannedd, ac y mae yn dihoeni:
ac mi a ddywedais wrth dy ddisgyblion ar
iddynt ei fwrw ef allan; ac ni's gallasant.
19 Ac efe a attebodd iddynt, ac a ddy-
wedodd, O genhedlaeth anffyddlon, pa hŷd
y byddaf gyd â chwi? pa hŷd y goddefaf
chwi? dygwch ef attaf fi.
20 A hwy a'i dygasant ef atto. A h phan h Pen. 1.
welodd ef, yn y man yr yspryd a'i dryll- 26.
iodd ef; a chan syrthio ar y ddaear, efe a
ymdreiglodd, dan falu ewŷn.
21 A gofynodd *yr Iesu* i'w dad ef, Beth
sydd o amser er pan ddarfu fel hyn iddo?
Yntau a ddywedodd, Er yn fachgen.
22 A mynych y taflodd efe ef yn tân, ac
i'r dyfroedd, fel y difethai efe ef: ond os
gelli di ddim, cymmorth ni, gan dosturio
wrthym.

[i] Luc 17. 23 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, [i] Os gelli
6. di gredu, pob peth a all fod i'r neb a gredo.
24 Ac yn y fan tad y bachgen, dan lefain ac wylofain, a ddywedodd, Yr wyf fi
yn credu, O Arglwydd; cymmorth fy anghrediniaeth i.
25 A phan welodd yr Iesu fod y dyrfa
yn cyd-redeg atto, efe a geryddodd yr
yspryd aflan, gan ddywedyd wrtho, *Tydi*
yspryd mud a byddar, yr wyf fi yn gorchymyn i ti, Tyred allan o hono, ac na ddos
mwy iddo ef.
26 Ac wedi i'r *yspryd* lefain, a dryllio llawer arno ef, efe a aeth allan: ac yr oedd efe fel
*un* marw, fel y dywedodd llawer ei farw ef.
27 A'r Iesu a'i cymmerodd ef erbyn ei
law, ac a'i cyfododd; ac efe a safodd i fynu.
28 Ac wedi iddo fyned i mewn i'r tŷ, ei
ddisgyblion a ofynasant iddo o'r neilldu,
Paham na allem ni ei fwrw ef allan?
29 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y rhyw
hwn ni all er dim ddyfod allan, ond trwy
weddi ac ympryd.
[k] Mat. 17. 30 ¶ [k] Ac wedi ymadael oddi yno, hwy a
22. ymdeithiasant trwy Galilea: ac ni fynnai efe
Luc 9. 44. wybod o neb.
31 Canys yr oedd efe yn dysgu ei ddisgyblion, ac yn dywedyd wrthynt, Y traddodid Mab y dyn i ddwylaw dynion, ac y
lladdent ef; ac wedi ei ladd, yr adgyfodai y
trydydd dydd.
32 Ond nid oeddynt hwy yn deall yr
ymadrodd, ac ofni yr oeddynt ofyn iddo.
[l] Mat. 18. 33 ¶ Ac [l] efe a ddaeth i Capernaum: a
1. phan oedd efe yn y tŷ, efe a ofynodd iddLuc 9. 46 ynt, Beth yr oeddych yn ymddadleu yn
eich plith eich hunain ar y ffordd?
34 Ond hwy a dawsant â son: canys ymddadleuasent â'u gilydd ar y ffordd, pwy *a*
*fyddai* fwyaf.
[m] Mat. 20. 35 Ac efe a eisteddodd, ac a alwodd y
26, 27. deuddeg, ac a ddywedodd wrthynt, [m] Os
Pen. 10. 43. myn neb fod yn gyntaf, efe a fydd olaf o'r
cwbl, a gweinidog i bawb.
[n] Pen. 10. 36 Ac [n] efe a gymmerth fachgennyn, ac
16. a'i gosododd ef yn eu canol hwynt: ac wedi
iddo ei gymmeryd ef yn ei freichiau, efe a
ddywedodd wrthynt,
37 Pwy bynnag a dderbynio un o'r cyfryw fechgyn yn fy enw i, sydd yn fy nerbyn
[o] Mat. 10. i: a [o] phwy bynnag a'm derbyn i, nid myfi
40. y mae yn ei dderbyn, ond yr hwn a'm danfonodd i.
[p] Luc 9. 38 ¶ Ac [p] Ioan a'i hattebodd ef, gan
49. ddywedyd, Athraw, ni a welsom un yn
bwrw allan gythreuliaid yn dy enw di, yr
hwn nid yw yn ein dilyn ni; ac ni a waharddasom iddo, am nad yw yn ein dilyn ni.
39 A'r Iesu a ddywedodd, Na waherddwch iddo: [q] canys nid oes neb a wna wyrthiau yn fy enw i, ac a all yn y fan roi dry-
[q] 1 Cor. 12. 3. gair i mi.
[r] Mat. 12. 40 [r] Canys y neb nid yw i'n herbyn, o'n
30. tu ni y mae.
[s] Mat. 10. 41 [s] Canys pwy bynnag a roddo i chwi
42. i'w yfed gwppanaid o ddwfr yn fy enw i,
am eich bod yn perthyn i Grist, yn wir
meddaf i chwi, Ni chyll efe ei obrwy.
[t] Mat. 18. 42 A [t] phwy bynnag a rwystro un o'r
6. rhai bychain *hyn* sy'n credu ynof fi, gwell
Luc 17. 1. oedd iddo osod maen melin o amgylch ei
[u] Mat. 5. 29. a 18. 8. wddf, a'i daflu i'r môr.
† Neu, 43 Ac [u] os dy law † a'th rwystra, tor
*a wna i ti* hi ymaith: gwell yw i ti fyned i mewn i'r
*droseddu:* bywyd yn anafus, nag â dwy law gennyt
ac felly adn. 45, 47. fyned i uffern, i'r tân anniffoddadwy:

44 [x] Lle nid yw eu pryf hwynt yn marw [x] Esay 66.
na'r tân yn diffodd. 24.
45 Ac os dy droed a'th rwystra, tor ef Judith 16.
ymaith: gwell yw i ti fyned i mewn i'r 17.
bywyd yn gloff, nag â dau droed gennyt dy
daflu i uffern, i'r tân anniffoddadwy:
46 Lle nid yw eu pryf hwynt yn marw,
na'r tân yn diffodd.
47 Ac os dy lygad a'th rwystra, bwrw
ef ymaith: gwell yw i ti fyned i mewn i
deyrnas Dduw yn un-llygeidiog, nag â dau
lygad gennyt dy daflu i dân uffern:
48 Lle nid yw eu pryf hwynt yn marw,
na'r tân yn diffodd.
49 Canys pob un a helltir â thân, [y] a phob [y] Lef. 2. 13.
aberth a hellttir â halen. [z] Mat. 5.
50 [z] Da *yw*'r halen: ond os bydd yr ha- 13.
len yn ddihallt, â pha beth yr helltwch ef? Luc 14. 34.
Bid gennych halen ynoch eich hunain, a [a] Rhuf. 12.
[a] byddwch heddychlon â'ch gilydd. 18. Heb. 12. 14.

PEN. X.

2 *Crist yn ymresymmu â'r Phariseaid ynghylch ysgar: 13 yn bendithio'r plant a ddygwyd atto: 17 yn atteb i wr goludog, pa fodd y cai etifeddu bywyd tragywyddol: 23 yn dangos i'w ddisgyblion berygl golud. 28 yn addaw gwobrau i'r sawl a ymadawo â dim er mwyn yr efengyl. 32 yn rhagfynegi ei farwolaeth, a'i adgyfodiad: 35 yn gorchymyn i feibion Zebedeus a geisient barch gantho, feddwl yn hytrach am ddioddef gyd ag ef; 46 ac yn rhoddi ei olwg i Bartimeus.*

AC [a] efe a gyfododd oddi yno, ac a aeth 33.
i dueddau Judea, trwy'r tu hwnt i'r [a] Mat. 19.
Iorddonen; a'r bobloedd a gyd-gyrchasant 1.
atto ef drachefn: ac fel yr oedd yn arferu, Ioan 10. 40.
efe a'u dysgodd hwynt drachefn. a 11. 7.
2 ¶ A'r Phariseaid, wedi dyfod atto, a
ofynasant iddo, Ai rhydd i wr roi ymaith ei
wraig? gan ei demtio ef.
3 Yntau a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Beth a orchymynodd Moses i chwi?
4 A hwy a ddywedasant, [b] Moses a gan- [b] Deut. 24.
iattaodd ysgrifenu llythyr ysgar, a'i gollwng 1.
hi ymaith. Mat. 5. 31.
5 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, O achos eich calon-galedwch chwi
yr ysgrifenodd efe i chwi y gorchymyn
hwnnw:
6 Ond o ddechreuad y creadigaeth, [c] yn [c] Gen. 1.
wrryw a banyw y gwnaeth Duw hwynt. 27.
7 [d] Am hyn y gâd dyn ei dad a'i fam, ac [d] Gen. 2.
y glŷn wrth ei wraig; 24.
8 A hwy ill dau a fyddant un cnawd: fel 1 Cor. 6.
nad ydynt mwy ddau, ond un cnawd. 16.
9 Y peth gan hynny a gyssylltodd Duw, Eph. 5. 31.
na wahaned dyn.
10 Ac yn y tŷ drachefn ei ddisgyblion a
ofynasant iddo am yr un peth.
11 Ac efe a ddywedodd wrthynt, [e] Pwy [e] Mat. 5.
bynnag a roddo ymaith ei wraig, ac a 32. a 19. 9.
brïodo un arall, y mae yn godinebu yn ei Luc 16. 18.
herbyn hi. 1 Cor. 7.
12 Ac os gwraig a ddyry ymaith ei gwr, 10.
a phrïodi un arall, y mae hi yn godinebu.
13 ¶ A [f] hwy a ddygasant blant bychain [f] Mat. 19.
atto, fel y cyffyrddai efe â hwynt: a'r dis- 13.
gyblion a geryddasant y rhai oedd yn *eu* Luc 18. 15.
dwyn *hwynt.*
14 A'r Iesu pan welodd *hynny*, fu anfoddlon, ac a ddywedodd wrthynt, Gadêwch i
blant bychain ddyfod attaf fi, ac na waherddwch iddynt: canys [g] eiddo y cyfryw [g] 1 Cor. 14.
rai yw teyrnas Dduw. 20.
1 Petr 2. 2.

15 Yn wir meddaf i chwi, h Pwy bynnag ni dderbynio deyrnas Dduw fel dyn bach, nid â efe i mewn iddi.
h Mat. 18. 3.

16 Ac efe a'u cymmerodd hwy yn ei freichiau, *ac* a roddes *ei* ddwylaw arnynt, ac a'u bendithiodd.

17 ¶ i Ac wedi iddo fyned allan i'r ffordd, rhedodd un atto, a gostyngodd iddo, ac a ofynodd iddo, O Athraw da, beth a wnaf fel yr etifeddwyf fywyd tragywyddol?
i Mat. 19. 16. Luc 18. 18.

18 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Paham y gelwi fi yn dda? nid *oes* neb da ond un, *sef* Duw.

19 Ti a wyddost y gorchymynion, Na k odineba, Na ladd, Na ladratta, Na chamdystiolaetha, Na cham-golleda, Anrhydedda dy dad a'th fam.
k Exod. 20. Rhuf. 13. 9.

20 Yntau a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Athraw, y rhai hyn i gŷd a gedwais o'm hieuengctid.

21 A'r Iesu, gan edrych arno, a'i hoffodd, ac a ddywedodd wrtho, Un peth sydd ddiffygiol i ti: dos, gwerth yr hyn oll sydd gennyt, a dyro i'r tlodion; a thi a gai l drysor yn y nef: a thyred, *a* chymmer i fynu y groes, a dilyn fi.
l Mat. 6. 19. Luc 12. 33. a 16. 9.

22 Ac efe a bruddhaodd wrth yr ymadrodd, ac a aeth ymaith yn athrist: canys yr oedd ganddo feddiannau lawer.

23 ¶ A'r Iesu a edrychodd o'i amgylch, ac a ddywedodd wrth ei ddisgyblion, Mor anhawdd yr â y rhai y mae golud ganddynt i deyrnas Dduw!

24 A'r disgyblion a frawychasant wrth ei eiriau ef. Ond yr Iesu a attebodd drachefn, ac a ddywedodd wrthynt, O blant, mor anhawdd yw i'r rhai sy m â'u hymddiried yn eu golud fyned i deyrnas Dduw!
m Job 31. 24. Psal. 62. 10. Luc 18. 24. 1 Tim. 6. 17.

25 Y mae yn haws i gamel fyned trwy grau'r nodwydd, nag i oludog fyned i mewn i deyrnas Dduw.

26 A hwy a synnasant yn ddirfawr, gan ddywedyd wrthynt eu hunain, A phwy a all fod yn gadwedig?

27 A'r Iesu, wedi edrych arnynt, a ddywedodd, Gyd â dynion ammhosibl *yw*, ac nid gyd â Duw: canys n pob peth sydd bosibl gyd â Duw.
n Jer. 32. 17. Luc 1. 37.

28 ¶ o Yna y dechreuodd Petr ddywedyd wrtho, Wele, nyni a adawsom bob peth, ac a'th ddilynasom di.
o Mat. 19. 27. Luc 18. 28.

29 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd, Yn wir meddaf i chwi, Nid oes neb a'r a adawodd dŷ, neu frodyr, neu chwïorydd, neu dad, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd, o'm hachos i a'r efengyl,

30 A'r ni dderbyn y can cymmaint yr awrhon y pryd hwn, dai, a brodyr, a chwïorydd, a mammau, a phlant, a thiroedd, yngHŷd ag erlidiau; ac yn y byd a ddaw, fywyd tragywyddol.

31 p Ond llawer rhai cyntaf a fyddant ddiweddaf; a'r diweddaf *fyddant* gyntaf.
p Mat. 19. 30. a 20. 16. Luc 13. 30.

32 ¶ Ac q yr oeddynt ar y ffordd yn myned i fynu i Jerusalem; ac yr oedd yr Iesu yn myned o'u blaen hwynt: a hwy a frawychasant; ac fel yr oeddynt yn canlyn, yr oedd arnynt ofn. Ac wedi iddo drachefn gymmeryd y deuddeg, efe a ddechreuodd fynegi iddynt y pethau a ddigwyddent iddo ef:
q Mat. 20. 17. Luc 18. 31.

33 *Canys* wele, yr ydym ni yn myned i fynu i Jerusalem; a Mab y dyn a draddodir i'r arch-offeiriaid, ac i'r ysgrifenyddion; a hwy a'i condemniant ef i farwolaeth, ac a'i traddodant ef i'r Cenhedloedd:

34 A hwy a'i gwatwarant ef, ac a'i fflangellant, ac a boerant arno, ac a'i lladdant: a'r trydydd dydd yr adgyfyd.

35 ¶ A r daeth atto Iago ac Ioan, meibion Zebedëus, gan ddywedyd, Athraw, ni a fynnem wneuthur o honot i ni yr hyn a ddymunem.
r Mat. 20. 20.

36 Yntau a ddywedodd wrthynt, Beth a fynnech i mi ei wneuthur i chwi?

37 Hwythau a ddywedasant wrtho, Caniattâ i ni eistedd, un ar dy ddeheu-law, a'r llall ar dy aswy, yn dy ogoniant.

38 Ond yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Ni wyddoch pa beth yr ydych yn ei ofyn: a ellwch chwi yfed o'r cwppan yr wyf fi yn ei yfed? a'ch bedyddio â'r bedydd y'm bedyddir i ag ef?

39 A hwy a ddywedasant wrtho, Gallwn. A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Dïau yr yfwch o'r cwppan yr yfwyf fi; ac y'ch bedyddir â'r bedydd y bedyddir finnau:

40 Ond eistedd ar fy neheu-law a'm haswy, nid eiddof fi ei roddi; ond i'r rhai y darparwyd.

41 A phan glybu y deg, hwy a ddechreuasant † fod yn anfoddlon ynghylch Iago ac Ioan.
† *sorri wrth.*

42 A'r Iesu a'u galwodd hwynt atto, ac a ddywedodd wrthynt, s Chwi a wyddoch fod y rhai a dybir eu bod yn llywodraethu ar y Cenhedloedd, yn tra-arglwyddiaethu arnynt; a'u gwŷr mawr hwynt yn tra-awdurdodi arnynt.
s Luc 22. 25.

43 Eithr nid felly y bydd yn eich plith chwi: ond pwy bynnag a ewyllysio fod yn fawr yn eich plith, ‡ bydded weinidog i chwi;
‡ Gr. *a fydd.*

44 A phwy bynnag o honoch a fynno fod yn bennaf, § bydded was i bawb.
§ Gr. *a fydd.*

45 Canys t ni ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac u i roi ei einioes yn bridwerth dros lawer.
t Ioan 13. 14. Phil. 2. 7. u 1 Tim. 2. 6. Tit. 2. 14.

46 ¶ x A hwy a ddaethant i Jericho. Ac fel yr oedd efe yn myned allan o Jericho, efe a'i ddisgyblion, a bagad o bobl, Bartimëus ddall, mab Timëus, oedd yn eistedd ar fin y ffordd, yn cardotta.
x Mat. 20. 29. Luc 18. 35.

47 A phan glybu mai 'r Iesu o Nazareth ydoedd, efe a ddechreuodd lefain, a dywedyd, Iesu fab Dafydd, trugarhâ wrthyf.

48 A llawer a'i ceryddasant ef, i *geisio ganddo* dewi: ond efe a lefodd yn fwy o lawer, Mab Dafydd, trugarhâ wrthyf.

49 A'r Iesu a safodd, ac a archodd ei alw ef. A hwy a alwasant y dall, gan ddywedyd wrtho, Cymmer galon; cyfod: y mae efe yn dy alw di.

50 Ond efe, wedi taflu ei gochl ymaith, a gyfododd, ac a ddaeth at yr Iesu.

51 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Beth a fynni i mi ei wneuthur i ti? A'r dall a ddywedodd wrtho, || Athraw, caffael o honof fy ngolwg.
|| *Rabboni.* Gwel Ioan 20. 16.

52 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Dos ymaith: y dy ffydd a'th † iachaodd. Ac yn y man y cafodd efe ei olwg, ac efe a ddilynodd yr Iesu ar hŷd y ffordd.
y Mat. 9. 22. Pen. 5. 34. † Neu, *achubodd.*

## PEN. XI.

1 *Crist yn marchogaeth mewn goruchafiaeth i Jerusalem:* 12 *yn melldithio'r pren deiliog diffrwyth:* 15 *yn glanhâu'r deml:* 20 *yn annog ei ddisgyblion fod yn ddisigl mewn ffydd; ac i faddeu i'w gelynion:* 27 *ac yn ymddiffyn fod ei weithredoedd ef yn gyfreithlon, trwy dystiolaeth Ioan, yr hwn oedd wr wedi ei ddanfon oddi wrth Dduw.*

33. AC [a] wedi eu dyfod yn agos i Jerusalem,
[a] Mat. 21. 1. i Bethphage a Bethania, hyd fynydd
Luc 19. 29. yr Olewŷdd, efe a anfonodd ddau o'i ddis-
Ioan 12. 14. gyblion,
2 Ac a ddywedodd wrthynt, Ewch ym-
aith i'r pentref *sydd* gyferbyn â chwi: ac yn
y man wedi y deloch i mewn iddo, chwi a
gewch ebol wedi ei rwymo, ar yr hwn nid
eisteddodd neb; gollyngwch ef yn rhydd, a
dygwch ymaith.
3 Ac os dywaid neb wrthych, Paham y
gwnewch hyn? dywedwch, Am fod yn
rhaid i'r Arglwydd wrtho; ac yn ebrwydd
efe a'i denfyn yma.
4 A hwy a aethant ymaith, ac a gawsant
yr ebol yn rhwym wrth y drws oddi allan,
mewn croes-ffordd; ac a'i gollyngasant ef
yn rhydd.
5 A rhai o'r rhai oedd yn sefyll yno a ddy-
wedasant wrthynt, Beth a wnewch chwi,
yn gollwng yr ebol yn rhŷdd?
6 A hwy a ddywedasant wrthynt fel y
gorchymynasai'r Iesu: a hwy a adawsant
iddynt fyned ymaith.
7 A hwy a ddygasant yr ebol at yr Iesu,
ac a fwriasant eu dillad arno; ac efe a
eisteddodd arno.
8 A llawer a danasant eu dillad ar hŷd y
ffordd: ac eraill a dorrasant gangau o'r
gwŷdd, ac a'u tanasant ar y ffordd.
9 A'r rhai oedd yn myned o'r blaen, a'r
rhai oedd yn dyfod ar ol, a lefasant, gan
[b] Psal. 118. 26. ddywedyd, [b] Hosanna: Bendigedig *fyddo*
yr hwn sydd yn dyfod yn enw'r Ar-
glwydd.
10 Bendigedig *yw* y deyrnas sydd yn dy-
fod yn enw Arglwydd ein tad Dafydd: Ho-
† goruchafion. sanna yn y † goruchaf.
11 A'r Iesu a aeth i mewn i Jerusalem,
ac i'r deml: ac wedi iddo edrych ar bob
peth o'i amgylch, a hi weithian yn hwyr,
efe a aeth allan i Bethania gyd â'r deu-
ddeg.
[c] Mat. 21. 18. 12 ¶ [c] A thrannoeth, wedi iddynt ddy-
fod allan o Bethania, yr oedd arno chwant
bwyd.
13 Ac wedi iddo ganfod o hirbell ffigys-
bren ag arno ddail, efe a aeth *i edrych* a gaffai
ddim arno. A phan ddaeth atto, ni cha-
fodd efe ddim ond y dail: canys nid oedd
amser ffigys.
14 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrtho, Na fwyttâed neb ffrwyth o honot
byth mwy. A'i ddisgyblion ef a glyw-
sant.
[d] Mat. 21. 12. 15 ¶ [d] A hwy a ddaethant i Jerusalem.
Luc 19. 45. A'r Iesu a aeth i'r deml, ac a ddechreuodd
Ioan 2. 14. fwrw allan y rhai a werthent ac a brynent
yn y deml; ac a ymchwelodd drestlau'r
arianwŷr, a chadeiriau y gwerthwŷr colom-
mennod:
16 Ac ni adawai *efe* i neb ddwyn llestr
trwy'r deml.
‡ *a athrawiaethodd.* 17 Ac efe ‡ a'u dysgodd, gan ddywedyd
wrthynt, Onid yw yn ysgrifenedig, [e] Y gel-
[e] Esay 56. 7. wir fy nhŷ i yn dŷ gweddi § i'r holl gen-
hedloedd? ond [f] chwi a'i gwnaethoch yn
§ *Neu, gan yr holl, &c.* ogof lladron.
18 [g] A'r ysgrifenyddion a'r arch-offeiriaid
a glywsant *hyn*, ac a geisiasant pa fodd y di-
[f] Jer. 7. 11. fethent ef: canys yr oeddynt yn ei ofni ef,
[g] Luc 19. 47. am fod yr holl bobl yn synnu oblegid ei
athrawiaeth ef.
19 A phan aeth hi yn hwyr, efe a aeth
allan o'r ddinas.
20 ¶ [h] A'r bore, wrth fyned heibio,
hwy a welsant y ffigysbren wedi crino o'r [h] Mat. 21. 19.
gwraidd.
21 A Phetr, wedi adgofio, a ddywedodd
wrtho, Athraw, wele, y ffigysbren a felldi-
thiaist, wedi crino.
22 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, Bydded gennych ‖ ffydd yn ‖ *ffydd Duw.*
Nuw.
23 Canys [i] yn wir yr wyf yn dywedyd i [i] Mat. 17.
chwi, Pwy bynnag a ddywedo wrth y my- 20. a 21. 21.
nydd hwn, Tynner di ymaith, a bwrier di Luc 17. 6.
i'r môr; ac nid amheuo yn ei galon, ond
credu y daw i ben y pethau a ddywedo
efe; beth bynnag a ddywedo, a fydd
iddo.
24 Am hynny meddaf i chwi, [k] Beth [k] Mat. 7.
bynnag oll a geisioch wrth weddïo, cred- 7.
wch y derbyniwch, ac efe fydd i chwi. Luc 11. 9. Ioan 14. 13
25 A [l] phan safoch i weddïo, maddeuwch, a 15. 7. a
o bydd gennych ddim yn erbyn neb; fel y 16. 24.
maddeuo eich Tad yr hwn sydd yn y nef- Iago 1. 6.
oedd i chwithau eich camweddau. [l] Mat. 6. 14.
26 Ond [m] os chwi ni faddeuwch, eich Col. 3. 13.
Tad yr hwn sydd yn y nefoedd ni faddeu [m] Mat. 18.
chwaith eich camweddau chwithau. 35.
27 ¶ [n] A hwy a ddaethant drachefn i Je- [n] Mat. 21.
rusalem: ac fel yr oedd efe yn rhodio yn y 23.
deml, yr arch-offeiriaid, a'r ysgrifenyddion, Luc 20. 1.
a'r henuriaid, a ddaethant atto,
28 Ac a ddywedasant wrtho, Trwy ba
awdurdod yr wyt ti yn gwneuthur y pethau
hyn? a phwy a roddes i ti yr awdurdod hon
i wneuthur y pethau hyn?
29 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, A minnau a ofynaf i chwithau un
† gair; ac attebwch fi, a mi a ddywedaf i † *Neu, peth.*
chwi trwy ba awdurdod yr wyf yn gwneu-
thur y pethau hyn.
30 Bedydd Ioan, ai o'r nef yr oedd, ai o
ddynion? attebwch fi.
31 Ac ymresymmu a wnaethant wrthynt
eu hunain, gan ddywedyd, Os dywedwn,
O'r nef; efe a ddywed, Paham gan hynny
na chredech iddo?
32 Eithr os dywedwn, O ddynion; yr
oedd arnynt ofn y bobl: canys [o] pawb oll [o] Mat. 14. 5.
a gyfrifent Ioan mai prophwyd yn ddïau Pen. 6. 20.
ydoedd.
33 A hwy a attebasant ac a ddywedasant
wrth yr Iesu, Ni wyddom ni. A'r Iesu a
attebodd ac a ddywedodd wrthynt hwy-
thau, Ac ni ddywedaf finnau i chwithau
trwy ba awdurdod yr wyf yn gwneuthur y
pethau hyn.

## PEN. XII.

1 *Trwy ddammeg y winllan a logwyd i lafurwŷr anniolchgar, y mae Crist yn rhag-ddangos gwrthodiad yr Iuddewon, a galwad y Cenhedloedd:* 13 *y mae yn gochelyd magl y Phariseaid a'r Herodianiaid ynghylch talu teyrn-ged i Cesar;* 18 *yn argyoeddi amryfusedd y Sadduceaid, y rhai a wadent yr adgyfodiad;* 28 *yn atteb yr ysgrifenydd oedd yn ymofyn am y gorchymyn cyntaf;* 35 *yn beio ar dyb yr ysgrifenyddion am Grist;* 38 *ac yn gorchymyn i'r bobl ochelyd eu huchder a'u rhagrith hwy;* 41 *ac yn canmol y weddw dlawd am ei dwy hatling, yn fwy nâ neb.*

AC efe a [a] ddechreuodd ddywedyd wrth- 33.
ynt ar ddamhegion. Gŵr a blannodd [a] Mat. 21.
winllan, ac a ddododd gae o'i hamgylch, ac 33.
a gloddiodd *le* i'r gwin-gafn, ac a adeil- Luc 20. 9.
adodd dŵr, ac a'i gosododd hi allan i lafur-
wŷr, ac a aeth oddi cartref.

2 Ac efe a anfonodd was mewn amser
at y llafurwŷr, i dderbyn gan y llafurwŷr o
ffrwyth y winllan.
3 A hwy a'i daliasant *ef*, ac a'i baeddas-
ant, ac a'i gyrrasant ymaith yn wag-*law*.
4 A thrachefn yr anfonodd efe attynt was
arall: a hwnnw y taflasant gerrig atto, ac yr
archollasant *ei* ben, ac a'i gyrrasant ymaith
† *wedi ei ammherchi.* † yn ammharchus.
5 A thrachefn yr anfonodd efe un arall;
a hwnnw a laddasant: a llawer eraill; gan
faeddu rhai, a lladd y lleill.
6 Am hynny etto, a chanddo un mab, ei
anwylyd, efe a anfonodd hwnnw hefyd
attynt yn ddiweddaf; gan ddywedyd, Hwy
a barchant fy mab i.
7 Ond y llafurwŷr hynny a ddywedasant
yn eu plith eu hunain, Hwn yw 'r etifedd;
deuwch, lladdwn ef, a'r etifeddiaeth fydd
eiddom ni.
8 A hwy a'i daliasant ef, ac a'i lladdasant,
ac a'i bwriasant allan o'r winllan.
9 Beth gan hynny a wna Arglwydd y
winllan? efe a ddaw, ac a ddifetha y llafur-
wŷr, ac a rydd y winllan i eraill.
10 Oni ddarllenasoch yr ysgrythyr hon?
[b] Psal. 118. 22, 23. [b] Y maen a wrthododd yr adeiladwŷr, *hwn*
a wnaethpwyd yn ben y gongl.
11 Hyn a wnaethpwyd gan yr Arglwydd;
a rhyfedd yw yn ein golwg ni.
12 A hwy a geisiasant ei ddala ef; ac yr
oedd arnynt ofn y dyrfa: canys hwy a
wyddent mai yn eu herbyn hwy y dywed-
asai efe y ddammeg: a hwy a'i gadawsant
ef, ac a aethant ymaith.
[c] Mat. 22. 15. Luc 20. 20. 13 ¶ A [c] hwy a anfonasant atto rai o'r
Phariseaid, ac o'r Herodianiaid, i'w rwydo
ef yn *ei* ymadrodd.
14 Hwythau pan ddaethant a ddywed-
asant wrtho, Athraw, ni a wyddom dy fod
di yn eirwir, ac nad oes arnat ofal rhag
neb: canys nid wyt ti yn edrych ar wyneb
dynion, ond yr wyt yn dysgu ffordd Duw
mewn gwirionedd: Ai cyfreithlawn rhoi
teyrn-ged i Cesar, ai nid *yw?* a roddwn, ai
ni roddwn *hi?*
15 Ond efe, gan wybod eu rhagrith hwynt,
a ddywedodd wrthynt, Paham y temtiwch fi;
dygwch i mi geiniog, fel y gwelwyf *hi*.
16 A hwy a'i dygasant. Ac efe a ddy-
wedodd wrthynt, Eiddo pwy *yw*'r ddelw
hon a'r argraph? A hwy a ddywedasant
wrtho, Eiddo Cesar.
17 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
‡ *Telwch.* wrthynt, ‡ Rhoddwch yr eiddo Cesar i
Cesar, a'r eiddo Duw i Dduw. A rhyfeddu
a wnaethant o'i blegid.
[d] Mat. 22. 23. Luc 20. 27. 18 ¶ [d] Daeth y Saduceaid hefyd atto, [e] y
rhai a ddywedant nad oes adgyfodiad; a
[e] Act. 23. 8. gofynasant iddo, gan ddywedyd,
19 Athraw, [f] Moses a 'sgrifenodd i ni,
[f] Deut 25. 5. O bydd marw brawd neb, a gadu ei wraig,
ac heb adu plant, am gymmeryd o'i frawd
ei wraig ef, a chodi had i'w frawd.
20 Yr oedd gan hynny saith o frodyr: a'r
cyntaf a gymmerth wraig; a phan fu farw,
ni adawodd had.
21 A'r ail a'i cymmerth hi, ac a fu farw,
ac ni adawodd yntau had: a'r trydydd yr
un modd.
22 A hwy a'i cymmerasant hi ill saith, ac
ni adawsant had. Yn ddiweddaf o'r cwbl
bu farw y wraig hefyd.
23 Yn yr adgyfodiad gan hynny, pan ad-
gyfodant, gwraig i ba un o honynt fydd hi?
canys y saith a'i cawsant hi yn wraig.

24 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, Onid am hyn yr ydych yn cyfei-
liorni, am nad ydych yn gwybod yr ysgry-
thyrau, na gallu Duw?
25 Canys pan adgyfodant o feirw, ni
wreiccant, ac ni ŵrant; eithr y maent fel
yr angylion sydd yn y nefoedd.
26 Ond am y meirw, yr adgyfodir hwynt;
oni ddarllenasoch chwi yn llyfr Moses, y
modd y llefarodd Duw wrtho yn y berth,
gan ddywedyd, [g] Myfi *yw* Duw Abraham, [g] Exod. 3. 6.
a Duw Isaac, a Duw Jacob?
27 Nid yw efe Dduw 'r meirw, ond Duw
y rhai byw: am hynny yr ydych chwi yn
cyfeiliorni yn fawr.
28 ¶ [h] Ac un o'r ysgrifenyddion a ddaeth, [h] Mat. 22. 35.
wedi eu clywed hwynt yn ymresymmu, a
gwybod atteb o hono iddynt yn gymmwys,
ac a ofynodd iddo, Pa un yw 'r gorchymyn
cyntaf o'r cwbl?
29 A'r Iesu a attebodd iddo, Y cyntaf o'r
holl orchymynion *yw*, [i] Clyw, Israel; Yr [i] Deut. 6. 4.
Arglwydd ein Duw, un Arglwydd yw: Luc 10. 27.
30 A châr yr Arglwydd dy Dduw § â'th § *o'th.*
holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl
feddwl, ac â'th holl nerth. Hwn yw 'r gor-
chymyn cyntaf.
31 A'r ail *sydd* gyffelyb iddo; [k] Câr dy [k] Lef. 19. 18.
gymmydog fel ti dy hun. Nid oes orchy- Mat. 22. 39.
myn arall mwy nâ'r rhai hyn. Rhuf. 13. 9
32 A dywedodd yr ysgrifenydd wrtho, Gal. 5. 14.
Da, Athraw, mewn gwirionedd y dywed- Iago 2. 8.
aist, mai un Duw sydd, ac nad oes arall ond
efe:
33 A'i garu ef || â'r holl galon, ac â'r || *o'r.*
holl ddeall, ac â'r holl enaid, ac â'r holl
nerth, a charu *ei* gymmydog megis ei hun,
sydd fwy nâ'r holl boeth-offrymmau a'r
aberthau.
34 A'r Iesu pan welodd iddo atteb yn
synhwyrol, a ddywedodd wrtho, Nid wyt
ti bell oddi wrth deyrnas Dduw. Ac ni
feiddiodd neb mwy ymofyn ag ef.
35 ¶ [l] A'r Iesu a attebodd ac a ddy- [l] Mat. 22. 41.
wedodd, wrth ddysgu yn y deml, Pa fodd
y dywed yr ysgrifenyddion fod Crist yn fab Luc 20. 41.
Dafydd?
36 Canys Dafydd ei hun a ddywedodd
trwy'r Yspryd Glân, [m] Yr ARGLWYDD a [m] Psal. 110. 1.
ddywedodd wrth fy Arglwydd, Eistedd ar
fy neheu-law, hyd oni osodwyf dy elynion
yn droed-faingc i'th draed.
37 Y mae Dafydd ei hun gan hynny yn ei
alw ef yn Arglwydd; ac o ba le y mae efe yn
fab iddo? A llawer o bobl a'i gwrandawent
ef yn ewyllysgar.
38 ¶ [n] Ac [o] efe a ddywedodd wrthynt yn [n] Mat. 23. 1.
ei athrawiaeth, Ymogelwch rhag yr ysgrif- Luc 20. 46.
enyddion, y rhai a chwennychant rodio [o] Pen. 4. 2.
mewn gwisgoedd llaesion, a [p] chael cyfarch [p] Luc 11. 43.
yn y marchnadoedd,
39 A'r prif-gadeiriau yn y synagogau, a'r
prif-eisteddleoedd mewn swpperau;
40 [q] Y rhai sydd yn llwyr-fwytta tai [q] Mat. 23. 14.
gwragedd gweddwon, ac mewn rhith yn
hir-weddïo: y rhai hyn a dderbyniant farn-
edigaeth fwy.
41 ¶ [r] A'r Iesu a eisteddodd gyferbyn a'r [r] Luc 21. 1.
drysorfa, ac a edrychodd pa fodd yr oedd
y bobl yn bwrw arian [s] i 'r drysorfa: a chy- [s] 2 Bren. 12. 9.
foethogion lawer a fwriasant lawer.
42 A rhyw wraig weddw dlawd a ddaeth,
ac a fwriodd i mewn ddwy hatling, yr hyn
yw ffyrling.
43 Ac efe a alwodd ei ddisgyblion atto,
ac a ddywedodd wrthynt, Yn wir yr wyf

[r] 2 Cor. 8. 12. [s] Deut. 4. 29. [t] Ioan 3. 17. [u] *yr hol-lol.*

yn dywedyd i chwi, [t] fwrw o'r wraig weddw dlawd hon i mewn fwy nâ'r rhai oll a fwriasant i'r dryforfa.

44 Canys *hwynt-hwy* oll a fwriasant o'r hyn a oedd yngweddill ganddynt: ond hon o'i heisiau a fwriodd i mewn yr hyn oll a feddai, [u] *sef* ei holl † fywyd.

## PEN. XIII.

1 *Crist yn rhag fynegi dinystr y deml: 9 yr erlidiau o achos yr efengyl: 10 y bydd rhaid pregethu'r efengyl i'r Cenhedloedd oll: 14 y mawr gystuddiau a ddigwyddai i'r Iuddewon: 24 a dull ei ddyfodiad ef i'r farn: 32 o ran na ŵyr neb yr awr, y dylai bob dyn wylied a gweddïo, rhag eu cael yn amharod pan ddêl ef at bob un trwy farwolaeth.*

33. [a] Mat. 24. 1. Luc 21. 5.

AC [a] fel yr oedd efe yn myned allan o'r deml, un o'i ddisgyblion a ddywedodd wrtho, Athraw, edrych pa ryw feini, a pha fath adeiladau *sy yma.*

2 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, A weli di yr adeiladau mawrion hyn? [b] ni edir maen ar faen, a'r ni's dattodir.

[b] Luc 19. 44.

3 Ac fel yr oedd efe yn eistedd ar fynydd yr Olewŷdd, gyferbyn a'r deml, Petr, ac Iago, ac Ioan, ac Andreas, a ofynasant iddo † o'r neilldu,

[*] *yn dau gyl.* [c] Mat. 24. 3.

4 [c] Dywaid i ni pa bryd y bydd y pethau hyn? a pha arwydd *fydd* pan fo y pethau hyn oll ar ddibennu?

5 A'r Iesu a attebodd iddynt, ac a ddechreuodd ddywedyd, [d] Edrychwch rhag twyllo o neb chwi.

[d] Eph. 5. 6. 2 Thess. 2. 3.

6 Canys llawer un a ddaw yn fy enw i, gan ddywedyd, Myfi yw *Crist;* ac a dwyllant lawer.

7 Ond pan glywoch am ryfeloedd, a son am ryfeloedd, na chyffröer chwi: canys rhaid i *hynny* fod; ond nid *yw* y diwedd etto.

8 Canys cenedl a gyfyd yn erbyn cenedl, a theyrnas yn erbyn teyrnas: a daeargrynfâau fyddant mewn mannau, a newyn a thrallod fyddant.

9 ¶ Dechreuad gofidiau *yw* y pethau hyn. Eithr [e] edrychwch chwi arnoch eich hunain: canys traddodant chwi i'r cynghorau, ac i'r synagogau; chwi a faeddir, ac a ddygir ger bron rhaglawiaid a brenhinoedd o'm hachos i, er tystiolaeth iddynt hwy.

[e] Mat. 10. 17, 18.

10 Ac [f] y mae yn rhaid yn gyntaf bregethu yr efengyl ym mysg yr holl genhedloedd.

[f] Mat. 24. 14.

11 [g] Ond pan ddygant *chwi,* a'ch traddodi, na rag-ofelwch beth a ddywettoch, ac na fyfyriwch: eithr pa beth bynnag a rodder i chwi yn yr awr honno, hynny dywedwch: canys nid chwychwi sy'n dywedyd, ond yr Yspryd Glân.

[g] Mat. 10. 19. Luc 12. 11. a 21. 14.

12 [h] A'r brawd a ddyry frawd i farwolaeth, a thad ei blentyn: a phlant a gyfyd yn erbyn *eu* rhieni, ac a'u rhoddant hwy i farwolaeth.

[h] Michah 7. 6.

13 [i] A chwi a fyddwch gas gan bawb er mwyn fy enw i: eithr [k] y neb a barhao hyd y diwedd, hwnnw a fydd cadwedig.

[i] Mat. 24. 9. [k] Mat. 10. 22.

14 ¶ [l] Ond pan weloch chwi y ffieidd-dra anghyfanneddol, [m] yr hwn a ddywedwyd gan Daniel y prophwyd, wedi ei osod lle ni's dylid, (y neb a ddarlleno, dealled) yna [n] y rhai a fyddant yn Judea, ffoant i'r mynyddoedd:

[l] Mat. 24. 15. [m] Dan. 9. 27. [n] Luc 21. 21.

15 A'r neb a fyddo ar ben y tŷ, na ddisgyned i'r tŷ, ac nac aed i mewn i gymmeryd dim o'i dŷ.

16 A'r neb a fyddo yn y maes, na throed yn ei ol i gymmeryd ei wisg.

17 Ond gwae y rhai beichiog, a'r rhai yn rhoi bronnau, yn y dyddiau hynny.

18 Ond gweddïwch na byddo eich ffoedigaeth yn y gauaf.

19 Canys yn y dyddiau hynny y bydd gorthrymder, y cyfryw ni bu y fath o ddechreu y creadwriaeth a greodd Duw, hyd y pryd hwn, ac ni bydd chwaith.

20 Ac oni bai fod i'r Arglwydd fyrhâu'r dyddiau, ‡ ni chadwesid un cnawd: eithr er mwyn yr etholedigion a etholodd, efe a fyrhaodd y dyddiau.

‡ Neu, *ni byddai un cnawd yn gadwedig.*

21 [o] Ac yna os dywed neb wrthych, Wele, llyma y Crist; neu, Wele, accw; na chredwch.

[o] Mat. 24. 23. Luc 17. 23. a 21. 8.

22 Canys gau-gristiau a gau-brophwydi a gyfodant, ac a ddangosant arwyddion a rhyfeddodau, § i hudo ymaith, pe *byddai* bosibl, ie, yr etholedigion.

§ *i ddidwyllo, pe posibl.*

23 [p] Eithr ymogelwch chwi: wele, rhagddywedais i chwi bob peth.

[p] 2 Petr 3. 17.

24 ¶ [q] Ond yn y dyddiau hynny, wedi'r gorthrymder hwnnw, y tywylla'r haul, a'r lloer ni rydd ei goleuni;

[q] Luc 21. 25.

25 A ser y nef a syrthiant, a'r nerthoedd sydd yn y nefoedd a siglir.

26 Ac [r] yna y gwelant Fab y dyn yn dyfod yn y cymmylau, gyd â gallu mawr a gogoniant.

[r] Dan. 7. 10. Mat. 16. 27 a 24. 29, &c. Pen. 14. 62. Luc 21. 27. Act. 1. 11. 1 Thess. 4. 16. 2 Thess. 1. 10. Dat. 1. 7.

27 Ac yna yr enfyn efe ei angylion, ac y cynnull ei etholedigion oddi wrth y pedwar gwynt, o eithaf y ddaear hyd eithaf y nef.

28 [s] Ond dysgwch ddammeg oddi wrth y ffigysbren: Pan fo ei gangen eisoes yn dyner, a'r dail yn torri allan, chwi a wyddoch fod yr haf yn agos:

[s] Mat. 24. 32. Luc 21. 29.

29 Ac felly chwithau, pan weloch y pethau hyn wedi dyfod, gwybyddwch ei fod yn agos, wrth y drysau.

30 Yn wir yr wyf yn dywedyd i chwi, nad â yr oes hon heibio, hyd oni wneler y pethau hyn oll.

31 Nef a daear a ant heibio: ond ‖ y geiriau mau fi nid ant heibio ddim.

‖ *fy ngeiriau i.*

32 ¶ Eithr am y dydd hwnnw a'r awr ni ŵyr neb, na'r angylion sydd yn y nef, na'r Mab, ond y Tad.

33 [t] Ymogelwch, gwyliwch a gweddïwch: canys ni wyddoch pa bryd y bydd yr amser.

[t] Mat. 24. 42. a 25. 13. 1 Thess. 5. 6.

34 *Canys Mab y dyn sydd* fel gwr yn ymdaith i bell, wedi gadael ei dŷ, a rhoi awdurdod i'w weision, ac i bob un ei waith ei hun, a gorchymyn i'r drysawr wylio.

35 Gwyliwch gan hynny (canys ni's gwyddoch pa bryd y daw meistr y tŷ, yn yr hwyr, ai hanner nos, ai ar ganiad y ceiliog, ai'r boreddydd)

36 Rhag iddo ddyfod yn ddisymmwth, a'ch cael chwi yn cysgu.

37 A'r hyn yr wyf yn eu dywedyd wrthych chwi, yr wyf yn eu dywedyd wrth bawb, Gwyliwch.

## PEN. XIV.

1 *Cyd-fwriad yn erbyn Crist.* 3 *Gwraig yn tywallt ennaint gwerthfawr ar ei ben ef.* 10 *Judas yn gwerthu ei feistr am arian.* 12 *Crist ei hun yn rhag-ddywedyd y bradychai un o'i ddisgyblion ef.* 22 *Wedi darparu a bwytta'r pasg, y mae yn ordeinio ei swpper:* 26 *yn hyspysu ym mluen llaw y ffoai ei holl ddisgyblion, ac y gwadai Petr ef.* 43 *Judas yn ei fradychu ef â chusan.* 46 *Ei ddala ef yn yr ardd.*

*55 Cynnulleidfa'r Iuddewon yn achwyn*
*arno ef ar gam, ac yn ei farnu yn annuwiol,*
*65 ac yn ei ammherchi yn gywilyddus.*
*66 Petr yn ei wadu ef deirgwaith.*

A C wedi [a] deuddydd yr oedd y pasg, a
[a] Mat. 26. 2. Luc 22. 1. Ioan 11. 55. a 13. 1. gwyl y bara croyw: a'r arch-offeiriaid
a'r ysgrifenyddion a geisiasant pa fodd y
dalient ef trwy dwyll, ac y lladdent ef.
2 Eithr dywedasant, Nid ar yr wyl, rhag
bod cynnwrf ym mhlith y bobl.
[b] Mat. 26. 6. Ioan 12. 1, 3. 3 ¶ [b] A phan oedd efe yn Bethania, yn
nhŷ Simon y gwahan-glwyfus, ac efe yn
eistedd i fwytta, daeth gwraig a chanddi
† *pur.* flwch o ennaint o nard † gwlyb gwerthfawr;
a hi a dorrodd y blwch, ac a'i tywalltodd ar
ei ben ef.
‡ *sorredig.* 4 Ac yr oedd rhai yn ‡ anfoddlon yn-
ddynt eu hunain, ac yn dywedyd, I ba
beth y gwnaethpwyd y golled hon o'r en-
naint?
5 Oblegid fe a allasid gwerthu hwn uwch
law tri chan ceiniog, a'u rhoddi i'r tlodion.
A hwy a ffrommasant yn ei herbyn hi.
6 A'r Iesu a ddywedodd, Gadêwch iddi;
paham y gwnewch flinder iddi? hi a wnaeth
weithred dda arnaf fi.
[c] Deut. 15. 11. 7 Canys [c] bob amser y cewch y tlodion
gyd â chwi; a phan fynnoch y gellwch
wneuthur da iddynt hwy: ond myfi ni
chewch bob amser.
8 Hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth: hi a
achubodd y blaen i enneinio fy nghorph
erbyn y claddedigaeth.
9 Yn wir meddaf i chwi, Pa le bynnag y
pregether yr efengyl hon yn yr holl fyd, *yr*
*hyn* a wnaeth hon hefyd a adroddir, er coffa
am dani.
[d] Mat. 26. 14. Luc 22. 4. 10 ¶ [d] A Judas Iscariot, un o'r deuddeg,
a aeth ymaith at yr arch-offeiriaid, i'w fra-
dychu ef iddynt.
11 A phan glywsant, fe fu lawen ganddynt,
ac a addawsant roi arian iddo. Yntau a gei-
siodd pa fodd y gallai yn gymmwys ei fra-
dychu ef.
[e] Mat. 26. 17. 12 ¶ [e] A'r dydd cyntaf o *wyl* y bara
§ *laddent.* croyw, pan § aberthent y pasg, dywedodd
ei ddisgyblion wrtho, I ba le yr wyt ti yn
ewyllysio i ni fyned i barottôi i ti, i fwytta'r
pasg?
13 Ac efe a anfonodd ddau o'i ddisgybl-
ion, ac a ddywedodd wrthynt, Ewch i'r
ddinas; a chyfarfydd â chwi ddyn yn dwyn
ystenaid o ddwfr: dilynwch ef.
14 A pha le bynnag yr êl i mewn, dywed-
wch wrth wr y tŷ, Fod yr Athraw yn dywed-
yd, Pa le y mae'r lletty, lle y gallwyf, mi
a'm disgyblion, fwytta'r pasg?
15 Ac efe a ddengys i chwi oruwch-ysta-
fell fawr wedi ei thanu yn barod: yno pa-
rottôwch i ni.
16 A'i ddisgyblion a aethant, ac a ddaeth-
ant i'r ddinas; ac a gawsant megis y dywed-
asai efe wrthynt: ac a barottoisant y pasg.
17 A phan aeth hi yn hwyr, efe a ddaeth
gyd â'r deuddeg.
[f] Mat. 26. 20. 18 [f] Ac fel yr oeddynt yn eistedd, ac yn
bwytta, yr Iesu a ddywedodd, Yn wir medd-
af i chwi, Un o honoch, yr hwn sydd yn
bwytta gyd â myfi, a'm bradycha i.
19 Hwythau a ddechreuasant dristâu, a
dywedyd wrtho bob yn un ac un, Ai myfi?
ac arall, Ai myfi?
20 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, Un o'r deuddeg, yr hwn sydd yn
gwlychu gyd â mi yn y ddysgl, *yw efe.*
21 Mab y dyn yn wir sydd yn myned
ymaith, fel y mae yn ysgrifenedig am
dano: ond gwae'r dyn hwnnw trwy'r hwn
y bradychir Mab y dyn: da fuasai i'r dyn
hwnnw pe na's ganesid.
22 ¶ [g] Ac fel yr oeddynt yn bwytta, yr [g] Mat. 26. 26.
Iesu a gymmerodd fara, ac a'i bendithiodd, Luc 22. 19
ac a'i torrodd, ac a'i rhoddes iddynt; ac a 1 Cor. 11.
ddywedodd, Cymmerwch, bwyttêwch: hwn 23.
yw fy nghorph.
23 Ac wedi iddo gymmeryd y cwppan, a
rhoi diolch, efe a'i rhoddes iddynt: a hwynt
oll a yfasant o hono.
24 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Hwn yw
fy ngwaed i o'r testament newydd, yr hwn
a dywelltir dros lawer.
25 Yn wir yr wyf yn dywedyd wrthych,
nad yfaf mwy o ffrwyth y winwŷdden, hyd
y dydd hwnnw pan yfwyf ef yn newydd yn
nheyrnas Duw.
26 ¶ Ac wedi iddynt ganu ‖ mawl, hwy ‖ *emyn.*
a aethant allan i fynydd yr Olewŷdd.
27 [h] A dywedodd yr Iesu wrthynt, Chwi [h] Mat. 26.
a rwystrir oll o'm plegid i y nos hon: canys 31.
ysgrifenedig yw, [i] Tarawaf y bugail, a'r de- [i] Zech. 13.
faid a wasgerir. 7.
28 Eithr [k] wedi i mi adgyfodi, mi a af [k] Pen. 16. 7.
o'ch blaen chwi i Galilea.
29 [l] Ond Petr a ddywedodd wrtho, Pe [l] Mat. 26.
byddai bawb wedi eu rhwystro, etto ni *byd-* 33.
*daf* fi. Luc 22. 33. Ioan 13. 37
30 A dywedodd yr Iesu wrtho, Yn wir yr
ydwyf yn dywedyd i ti, Heddyw, o fewn y
nos hon, cyn canu o'r ceiliog ddwywaith, y
gwedi fi deirgwaith.
31 Ond efe a ddywedodd yn helaethach
o lawer, Pe gorfyddai i mi farw gyd â thi,
ni'th wadaf ddim. A'r un modd y dywed-
asant oll.
32 [m] A hwy a ddaethant i le yr oedd ei [m] Mat. 26.
enw Gethsemane: ac efe a ddywedodd 36.
wrth ei ddisgyblion, Eisteddwch yma, tra Luc 22. 39.
fyddwyf yn gweddïo. Ioan 18. 1.
33 Ac efe a gymmerth gyd ag ef Petr, ac
Iago, ac Ioan, ac a ddechreuodd ymofidio,
a thristâu yn ddirfawr.
34 Ac *efe* a ddywedodd wrthynt, [n] Y mae [n] Ioan 12.
fy enaid yn athrist hyd angau: arhoswch 27.
yma, a gwyliwch.
35 Ac efe a aeth ychydig ym mlaen,
ac a syrthiodd ar y ddaear, ac a weddïodd,
o bai bosibl, ar fyned yr awr honno oddi
wrtho.
36 Ac efe a ddywedodd, [o] Abba, Dad, [o] Rhuf. 8.
[p] pob peth *sydd* bosibl i ti: tro heibio y 15.
cwppan hwn oddi wrthyf: [q] eithr nid y Gal. 4. 6.
peth yr ydwyf fi yn ei ewyllysio, ond y peth [p] Heb. 5. 7.
yr ydwyt ti. [q] Ioan 6.
37 Ac efe a ddaeth, ac a'u cafodd hwy 38.
yn cysgu; ac a ddywedodd wrth Petr, Si-
mon, ai cysgu yr wyt ti? oni allit wylio un
awr?
38 Gwyliwch a gweddïwch, rhag eich
myned † mewn temtasiwn. [r] Yr yspryd yn † *i brofedigaeth.*
ddïau *sydd* barod, ond y cnawd *sydd* wan.
39 Ac wedi iddo fyned ymaith drachefn, [r] Gal. 5. 17.
efe a weddïodd, gan ddywedyd yr un yma-
drodd.
40 Ac wedi iddo ddychwelyd, efe a'u ca-
fodd hwynt drachefn yn cysgu; canys yr
oedd eu llygaid hwynt wedi trymhâu: ac
ni wyddent beth a attebent iddo.
41 Ac efe a ddaeth y drydedd waith, ac a
ddywedodd wrthynt, Cysgwch weithian, a
gorphwyswch: digon yw; daeth yr awr:
wele, yr ydys yn bradychu Mab y dyn i
ddwylaw pechaduriaid.

42 Cyfodwch, awn; wele, y mae yr hwn sydd yn fy mradychu yn agos.

a Mat. 26. 47. Luc 22. 47. Ioan 18. 3. — 43 ¶ [a] Ac yn y man, ac efe etto yn llefaru, daeth Judas, un o'r deuddeg, a chyd ag ef dyrfa fawr â chleddyfau a ffyn, oddi wrth yr arch-offeiriaid, a'r ysgrifenyddion, a'r henuriaid.

44 A'r hwn a'i bradychodd ef a roddasai arwydd iddynt, gan ddywedyd, Pwy bynnag a gusanwyf, hwnnw yw: deliwch ef, a dygwch ymaith yn sicr.

45 A phan ddaeth, yn ebrwydd efe a aeth atto, ac a ddywedodd, Rabbi, Rabbi; ac a'i cusanodd ef.

46 ¶ A hwythau a roisant eu dwylaw arno, ac a'i daliasant ef.

47 A rhyw un o'r rhai oedd yn sefyll ger llaw, a dynnodd ei gleddyf, ac a darawodd was yr arch-offeiriad, ac a dorrodd ymaith ei glust ef.

48 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Ai megis at leidr y daethoch allan, â chleddyfau ac â ffyn, i'm dala i?

49 Yr oeddwn i beunydd gyd â chwi yn athrawiaethu yn y deml, ac ni'm daliasoch: ond [t] rhaid yw cyflawni'r ysgrythyrau.

t Psal. 22. 6. Esay 53. 7, &c.

50 A hwynt oll a'i gadawsant ef, ac a ffoisant.

51 A rhyw wr ieuangc oedd yn ei ddilyn ef, wedi ymwisgo â lliain main ar ei gorph noeth; a'r gwŷr ieuaingc a'i daliasant ef.

52 A hwn a adawodd y lliain, ac a ffodd oddi wrthynt yn noeth.

u Mat. 26. 57. Luc 22. 54. Ioan 18. 13. — 53 ¶ [u] A hwy a ddygasant yr Iesu at yr arch-offeiriaid: a'r holl arch-offeiriaid, a'r henuriaid, a'r ysgrifenyddion, a ymgasglasant gyd ag ef.

54 A Phetr a'i canlynodd ef o hirbell, hyd yn llys yr arch-offeiriad; ac yr oedd efe yn eistedd gyd â'r gwasanaethwŷr, ac yn ymdwymno wrth y tân.

x Mat. 26. 59. — 55 [x] A'r arch-offeiriaid a'r holl gynghor a geisiasant dystiolaeth yn erbyn yr Iesu, i'w roi ef i'w farwolaeth; ac ni chawsant.

56 Canys llawer a ddygasant gau-dystiolaeth yn ei erbyn ef; eithr nid oedd eu tystiolaethau hwy yn gysson.

57 A rhai a gyfodasant ac a ddygasant gam-dystiolaeth yn ei erbyn, gan ddywedyd,

y Pen. 15. 29. Ioan 2. 19. — 58 Ni a'i clywsom ef yn dywedyd, [y] Mi a ddinystriaf y deml hon o waith dwylaw, ac mewn tridiau yr adeiladaf arall heb fod o waith llaw.

59 Ac etto nid oedd eu tystiolaeth hwy felly yn gysson.

60 A chyfododd yr arch-offeiriad yn y canol, ac a ofynodd i'r Iesu, gan ddywedyd, Oni attebi di ddim? beth y mae y rhai hyn yn ei dystiolaethu yn dy erbyn?

z Esay 53. 7. — 61 Ac [z] efe a dawodd, ac nid attebodd ddim. Drachefn yr arch-offeiriad a a ofynodd iddo, ac a ddywedodd wrtho, Ai tydi yw Crist, Mab y Bendigedig?

a Mat. 24. 30. a 26. 64. Luc 22. 69. — 62 A'r Iesu a ddywedodd, Myfi yw: [a] a chwi a gewch weled Mab y dyn yn eistedd ar ddeheu-law y gallu, ac yn dyfod ynghymmylau y nef.

63 Yna'r arch-offeiriad, gan rwygo ei ddillad, a ddywedodd, Pa raid i ni mwy wrth dystion?

64 Chwi a glywsoch y gabledd: beth dybygwch chwi? A hwynt oll a'i condemniasant ef, ei fod yn euog o farwolaeth.

65 A dechreuodd rhai boeri arno, a chuddio ei wyneb, a'i gernodio; a dywedyd wrtho, Prophwyda. A'r gweinidogion a'i tarawsant ef â † gwiail.

† Neu, *chledrau eu dwylaw.*

b Mat. 26. 69. Luc 22. 55. Ioan 18. 16. — 66 ¶ [b] Ac fel yr oedd Petr yn y llys i waered, daeth un o forwynion yr arch-offeiriad:

67 A phan ganfu hi Petr yn ymdwymno, hi a edrychodd arno, ac a ddywedodd, Tithau hefyd oeddit gyd â'r Iesu o Nazareth.

68 Ac efe a wadodd, gan ddywedyd, Nid adwaen i, ac ni wn i beth yr wyt yn ei ddywedyd. Ac efe a aeth allan i'r porth; a'r ceiliog a ganodd.

c Mat. 26. 71. Luc 22. 58. Ioan 18. 25. — 69 [c] A phan welodd y llangces ef drachefn, hi a ddechreuodd ddywedyd wrth y rhai oedd yn sefyll yno, Y mae hwn yn un o honynt.

d Act. 2. 7. — 70 Ac efe a wadodd drachefn. Ac ychydig wedi, y rhai oedd yn sefyll ger llaw a ddywedasant wrth Petr drachefn, Yn wir yr wyt ti *yn un* o honynt: [d] canys Galilead wyt, a'th leferydd sydd debyg.

e Mat. 26. 75. — 71 Ond efe a ddechreuodd regu a thyngu, Nid adwaen i y dyn yma yr ydych chwi yn dywedyd am dano.

72 A'r ceiliog a ganodd yr ail waith. [e] A Phetr a gofiodd y gair a ddywedasai'r Iesu wrtho, Cyn canu o'r ceiliog ddwywaith, ti a'm gwedi deirgwaith. ‡ A chan ystyried hynny, efe a wylodd.

‡ Neu, *Ac fe wylodd yn dost*, neu, *Ac fe ddechreuodd wylo.*

## PEN. XV.

1 *Dwyn yr Iesu yn rhwym, ac achwyn arno ger bron Pilat.* 15 *With floedd y bobl gyffredin, gollwng Barabbas y llofrudd yn rhydd, a thraddodi'r Iesu i'w groes-hoelio.* 17 *Ei goroni ef â drain,* 19 *poeri arno, a'i watwar.* 21 *Efe yn diffygio yn dwyn ei groes.* 27 *Ei grogi ef rhwng dau leidr.* 29 *Y mae yn dioddef difenwad yr Iuddewon:* 39 *etto y canwriad yn cyffesu ei fod ef yn Fab Duw:* 43 *a Joseph yn ei gladdu ef yn barchedig.*

33. — a Psal. 2. 2. Mat. 27. 1. Luc 22. 66. a 23. 1. Ioan 18. 28. — AC [a] yn y fan y bore, yr ymgynghorodd yr arch-offeiriaid gyd â'r henuriaid a'r ysgrifenyddion, a'r holl gynghor: ac wedi iddynt rwymo'r Iesu, hwy a'i dygasant *ef* ymaith, ac a'i traddodasant at Pilat.

2 A gofynodd Pilat iddo, Ai ti yw Brenhin yr Iuddewon? Yntau a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Yr wyt ti yn dywedyd.

3 A'r arch-offeiriaid a'i cyhuddasant ef † o lawer o bethau: eithr nid attebodd efe ddim.

† *am lawer.*

b Mat. 27. 13. — 4 [b] A Philat drachefn a ofynodd iddo, gan ddywedyd, Onid attebi di ddim? wele faint o bethau y maent yn eu tystiolaethu yn dy erbyn.

5 Ond yr Iesu etto nid attebodd ddim; fel y rhyfeddodd Pilat.

c Mat. 27. 15. Luc 23. 17. Ioan 18. 39. — 6 Ac [c] ar yr wyl *honno* y gollyngai efe yn rhydd iddynt un carcharor, yr hwn a ofynent iddo.

7 Ac yr oedd *un* a elwid Barabbas, yr hwn oedd yn rhwym gyd â'i gyd-derfysgwŷr, y rhai yn y derfysg a wnaethent lofruddiaeth.

8 A'r dyrfa gan groch-lefain, a ddechreuodd ddeisyf *arno wneuthur* fel y gwnaethai bob amser iddynt.

9 A Philat a attebodd iddynt, gan ddywedyd, A fynnwch chwi i mi ollwng yn rhydd i chwi Frenhin yr Iuddewon?

10 (Canys efe a wyddai mai o gynfigen y traddodasai'r arch-offeiriaid ef.)

d Act. 3. 14. — 11 [d] A'r arch-offeiriaid a gynhyrfasent y bobl, fel y gollyngai efe yn hytrach Barabbas yn rhydd iddynt.

12 A Philat a attebodd ac a ddywedodd drachefn wrthynt, Beth gan hynny a

fynnwch i mi ei wneuthur i'r *hwn* yr ydych
yn ei alw Brenhin yr Iuddewon?
13 A hwythau a lefasant drachefn, Croes-
hoelia ef.
14 Yna Pilat a ddywedodd wrthynt, Ond
pa ddrwg a wnaeth efe? A hwythau a lef-
asant fwy-fwy, Croes-hoelia ef.
e Mat. 27. 26. 15 ¶ [e] A Philat yn chwennych bodd-
Ioan 19. 1. loni'r bobl, a ollyngodd yn rhydd iddynt
Barabbas; a'r Iesu, wedi iddo *ei* fflan-gellu,
a draddododd efe i'w groes-hoelio.
16 A'r milwyr a'i dygasant ef i fewn y
llys, a elwir Pretorium: a hwy a alwasant
ynghyd yr holl fyddin.
17 Ac a'i gwisgasant ef â phorphor, ac a
blethasant goron o ddrain, ac a'i dodasant
am ei *ben;*
18 Ac a ddechreuasant gyfarch iddo,
Hanffych well, Brenhin yr Iuddewon.
19 A hwy a gurasant ei ben ef â chorsen,
ac a boerasant arno, a chan ddodi *eu* gliniau
*i lawr,* a'i haddolasant ef.
20 Ac wedi iddynt ei watwar ef, hwy a
ddïosgasant y porphor oddi am dano, ac a'i
gwisgasant ef â'i ddillad ei hun, ac a'i dy-
gasant allan i'w groes-hoelio.
f Mat. 27. 32. 21 A [f] hwy a gymhellasant un Simon o
Cyrene, yr hwn oedd yn myned heibio,
Luc 23. 26. wrth ddyfod o'r wlad, *sef* tad Alexander a
Ruphus, i ddwyn ei groes ef.
g Luc 23. 33. 22 [g] A hwy a'i harweiniasant ef i le *a*
Ioan 19. 17. *elwid* Golgotha; yr hyn o'i gyfieithu yw,
Lle'r ben-glog:
† *cym-mysgedig â myrr.* 23 Ac a roisant iddo i'w yfed win † myr-
llyd: eithr efe ni's cymmerth.
h Psal. 22. 18. 24 Ac wedi iddynt ei groes-hoelio, [h] hwy
a rannasant ei ddillad ef, gan fwrw coelbren
Ioan 19. 23. arnynt, beth a gai bob un.
i Mat. 27. 45. 25 [i] A'r drydedd awr oedd hi, a hwy a'i
Luc 23. 44. croes-hoeliasant ef.
Ioan 19. 14. 26 Ac [k] yr oedd ysgrifen ei achos ef wedi
k Mat. 27. 37. ei hargraphu, BRENHIN YR IUDDE-
WON.
Ioan 19. 19. 27 [l] A hwy a groes-hoeliasant gyd ag ef
l Mat. 27. 38. ddau leidr; un ar y llaw ddehau, ac un ar
yr aswy iddo.
28 A'r ysgrythyr a gyflawnwyd, yr hon a
m Esay 53. 12. ddywed, [m] Ac efe a gyfrifwyd gyd â'r rhai
Luc 22. 37. anwir.
n Psal. 22. 7. 29 [n] A'r rhai oedd yn myned heibio a'i
cablasant ef, gan ysgwyd eu pennau, a dy-
o Pen. 14. 58. wedyd, Och, [o] tydi yr hwn wyt yn di-
Ioan 2. 19. nystrio'r deml, ac yn *ei* hadeiladu mewn
tridiau,
30 Gwared dy hun, a disgyn oddi ar y
groes.
31 Yr un ffunud yr arch-offeiriaid hefyd
yn gwatwar, a ddywedasant wrth eu gilydd
gyd â'r ysgrifenyddion, Eraill a waredodd,
ei hun ni's gall ei wared.
32 Disgyned Crist, Brenhin yr Israel, yr
awr hon oddi ar y groes, fel y gwelom, ac y
p Luc 23. 39. credom. [p] A'r rhai a groes-hoeliesid gyd ag
ef, a'i difenwasant ef.
q Mat. 27. 45. 33 A [q] phan ddaeth y chweched awr,
Luc 23. 44. y bu tywyllwch ar yr holl ‡ ddaear hyd y
‡ *dir.* nawfed awr.
r Psal. 22. 1. 34 Ac ar y nawfed awr y dolefodd yr Iesu
â llef uchel, gan ddywedyd, [r] Eloi, Eloi,
Mat. 27. 46. lama sabachthani? yr hyn o'i gyfieithu yw,
Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?
35 A rhai o'r rhai a safent ger llaw, pan
glywsant, a ddywedasant, Wele, y mae efe
yn galw ar Elïas.
s Ioan 19. 29. 36 Ac [s] un a redodd, ac a lanwodd
ysbwng yn llawn o finegr, a'i dododd
ar gorsen, ac [t] a'i dïododd ef, gan ddy- t Psal. 69. 21.
wedyd, Peidiwch, edrychwn a ddaw Elïas
i'w dynnu ef i lawr.
37 [u] A'r Iesu a lefodd â llef uchel, ac a u Mat. 27. 50.
ymadawodd â'r yspryd. Ioan 19. 30.
38 [x] A llen y deml a rwygwyd yn ddwy, x Mat. 27. 51.
oddi fynu hyd i wared.
39 [y] A phan welodd y canwriad, yr hwn Luc 23. 45.
oedd yn sefyll ger llaw gyferbyn ag ef, y Mat. 27. 54.
ddarfod iddo yn llefain felly ymado â'r Luc 23. 47.
yspryd, efe a ddywedodd, Yn wir Mab z Mat. 27. 55.
Duw oedd y dyn hwn.
40 [z] Ac yr oedd hefyd wragedd yn edrych
o hirbell: ym mhlith y rhai yr oedd Mair
Magdalen, a Mair mam Iago fychan a Jose,
a Salome;
41 Y rhai hefyd, pan oedd efe yn Ga-
lilea, [a] a'i dilynasant ef, ac a weiniasant a Luc 8. 2, 3.
iddo; a gwragedd eraill lawer, y rhai a
ddaethent gyd ag ef i fynu i Jerusalem.
42 ¶ [b] Pan ydoedd hi weithian yn hwyr, b Mat. 27. 57.
(am ei bod hi yn ddarpar-wyl, sef y dydd Luc 23. 50.
cyn y sabbath) Ioan 19. 38.
43 Daeth Joseph o Arimathea, cynghor-
wr pendefigaidd, yr hwn oedd yntau [c] yn c Luc 2. 25, 38.
disgwyl am deyrnas Dduw; ac a aeth yn
hy i mewn at Pilat, ac a ddeisyfiodd gorph
yr Iesu.
44 A rhyfedd oedd gan Pilat o buasai efe
farw eisoes: ac wedi iddo alw y canwriad
atto, efe a ofynodd iddo a oedd efe wedi
marw er ys meityn.
45 A phan wybu gan y canwriad, efe a
roddes y corph i Joseph.
46 Ac efe a brynodd lïain main, ac a'i
tynnodd ef i lawr, ac a'i hamdôdd yn y
llïain main, ac a'i dododd ef mewn bedd a
naddasid o'r graig; ac a dreiglodd faen ar
ddrws y bedd.
47 A Mair Magdalen a Mair mam Jose, a
edrychasant pa le y dodid ef.

## PEN. XVI.

*1 Angel yn mynegi adgyfodiad Crist i dair o wragedd. 9 Crist ei hun yn ymddangos i Mair Magdalen: 12 i ddau oedd yn myned i'r wlad: 14 yna i'r apostolion, 15 y rhai y mae efe yn eu hanfon allan i bregethu'r efengyl: 19 ac yn esgyn i'r nefoedd.*

AC [a] wedi darfod y *dydd* sabbath, Mair 33.
Magdalen, a Mair *mam* Iago, a Sa- a Mat. 28. 1.
lome, [b] a brynasant † ber-aroglau, i ddy-
fod i'w enneinio ef. Luc 24. 1. Ioan 20. 1.
2 [c] Ac yn fore iawn, y *dydd* cyntaf ‡ o'r b Luc 23. 56.
wythnos, y daethant at y bedd, a'r haul
wedi codi. † *lysiau.*
3 A hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, c Luc 24. 1.
Pwy a dreigla i ni y maen ymaith oddi wrth Ioan 20. 1.
ddrws y bedd? ‡ *o'r sabbathau.*
4 (A phan edrychasant, hwy a ganfuant
fod y maen wedi ei dreiglo ymaith) canys
yr oedd efe yn fawr iawn.
5 Ac [d] wedi iddynt fyned i mewn i'r d Ioan 20. 11.
bedd, hwy a welsant fab ieuangc yn ei-
stedd o'r tu dehau, wedi ei ddilladu â gwisg
wenllaes; ac a ddychrynasant.
6 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Na ddy-
chrynwch. Ceisio yr ydych yr Iesu o Naza-
reth, yr hwn a groes-hoeliwyd: efe a gyfod-
odd; nid yw efe yma: wele'r man y dodas-
ant ef.
7 Eithr ewch ymaith, dywedwch i'w
ddisgyblion ef, ac i Petr, ei fod ef yn my-
ned o'ch blaen chwi i Galilea: yno y cewch
ei weled ef, [e] fel y dywedodd i chwi. e Mat. 26. 32.
8 Ac wedi myned allan ar frys, hwy a Pen. 14. 28.

ffoisant oddi wrth y bedd; canys dychryn a
[f] Edrych Mat. 28. 8. Luc 24. 9. syndod oedd arnynt. [f] Ac ni ddywedasant
ddim wrth neb: canys yr oeddynt wedi ofni.
9 ¶ A'r *Iesu*, wedi adgyfodi y bore y *dydd*
[g] Ioan 20. 14. cyntaf o'r wythnos, [g] a ymddangosodd yn
gyntaf i Mair Magdalen, [h] o'r hon y bwria-
[h] Luc 8. 2. sai efe allan saith o gythreuliaid.
10 Hithau a aeth ac a fynegodd i'r rhai
a fuasent gyd ag ef, ac oeddynt mewn galar
ac wylofain
11 A hwythau, pan glywsant ei fod ef yn
fyw, ac iddi hi ei weled ef, ni chredent.
12 ¶ Ac wedi hynny yr ymddangosodd
[i] Luc 24. 13. efe mewn gwedd arall [i] i ddau o honynt, *a*
*hwynt* yn ymdeithio, ac yn myned i'r wlad.
13 A hwy a aethant ac a fynegasant i'r
lleill: ac ni chredent iddynt hwythau.
[k] Luc 24. 36. 14 ¶ [k] *Ac* ar ol hynny efe a ymddang-
osodd i'r un ar ddeg, a hwynt yn eistedd
Ioan 20. 19. 1 Cor. 15. 7. † i fwytta; ac a ddannododd iddynt eu
hanghrediniaeth, a'u calon-galedwch, am
† Neu, *ynghyd.* na chredasent y rhai a'i gwelsent ef wedi
adgyfodi.

15 [l] Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch [l] Mat. 28. 19.
i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob [m] Ioan 3.
creadur. 18, 36.
16 [m] Y neb a gredo ac a fedyddier a [n] Ioan 12.
fydd cadwedig: [n] eithr y neb ni chredo a 48.
gondemnir. [o] Luc 10.
17 A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai 17.
a gredant; [o] Yn fy enw i y bwriant allan Act. 5. 16. a 8. 7. a 16.
gythreuliaid; ac [p] â thafodau newyddion 18. a 19. 12.
y llefarant; [p] Act. 2. 4.
18 [q] Seirph a godant ymaith, ac os yfant a 10. 46. a 19. 6.
ddim marwol, ni wna iddynt ddim niweid; 1 Cor. 12.
[r] ar y cleifion y rhoddant eu dwylaw, a hwy 10, 28.
a fyddant iach. [q] Luc 10. 19.
19 ¶ Ac felly yr Arglwydd, [s] wedi lle- Act. 28. 5.
faru wrthynt, [t] a gymmerwyd i fynu i'r [r] Act. 9. 17.
nef, [u] ac a eisteddodd ar ddeheu-law a 28. 8.
Dduw. [s] Act. 1.
20 A hwythau a aethant allan, ac a 2, 3.
bregethasant ym mhob man, a'r Arglwydd [t] Luc 24. 51.
yn cyd-weithio, [x] ac yn cadarnhâu'r gair [u] Psal. 110. 1.
trwy arwyddion y rhai oedd yn canlyn. [x] Act. 14. 3.
Amen. Heb. 2. 4.

# ¶ Yr Efengyl yn ol Sant LUC.

## PEN. I.

1 *Rhag-ymadrodd yr holl efengyl.* 5 *Cenhedl-*
*iad Ioan Fedyddiwr,* 26 *a Christ.* 39 *Pro-*
*phwydoliaeth Elisabeth a Mair am Grist.*
57 *Genedigaeth ac enwaediad Ioan.* 67
*Prophwydoliaeth Zacharïas am Grist,* 76
*ac Ioan.*

YN gymmaint a darfod i lawer gym-
meryd mewn llaw osod allan mewn
trefn draethawd am y pethau a gredir yn
ddïammeu yn ein plith,
[a] Heb. 2. 3. 2 [a] Megis y traddodasant hwy i ni, y
1 Ioan 1. 1. rhai oeddynt eu hunain [b] o'r dechreuad yn
[b] Marc 1. 2. gweled, ac yn weinidogion y gair:
Ioan 15. 27. 3 [c] Minnau a welais yn dda, wedi i mi
[c] Act. 15. ddilyn pob peth yn ddyfal o'r dechreuad,
19, 25, 28. ysgrifenu mewn trefn attat, [d] O ardder-
1 Cor. 7. 40. choccaf Theophilus,
[d] Act. 1. 1. 4 Fel y caffit wybod sicrwydd am y pethau
y'th ddysgwyd ynddynt.
Y chwech-ed Flwydd-yn cyn y Cyfrif cyffredin a elwir *Blwyddyn yr Ar-glwydd.* 5 YR oedd [e] yn nyddiau Herod frenhin
Judea, ryw offeiriad a'i enw Zacha-
rïas, [f] o † ddydd-gylch Abïa: a'i wraig
*oedd* o ferched Aaron, a'i henw Elisabeth.
6 Ac yr oeddynt ill dau yn gyfiawn ger
bron Duw, yn rhodio yn holl orchymynion
a deddfau'r Arglwydd, yn ddïargyoedd.
[e] Mat. 2. 1. 7 Ac nid oedd plentyn iddynt, am fod
[f] 1 Chron. 24. 10. Elisabeth yn ammhlantadwy, ac yr oeddynt
Neh. 12. 4, 17. wedi myned ill dau mewn gwth o oedran.
8 A bu, ac efe yn gwasanaethu swydd
† *gylch-ddydd.* offeiriad ger bron Duw, yn nhrefn ei
‡ ddyddgylch ef,
‡ *gylch-ddydd.* 9 Yn ol arfer swydd yr offeiriaid, ddyfod
o ran iddo [g] arogl-darthu yn ol ei fyned i
[g] Exod. 30. 7. deml yr Arglwydd.
Lef. 16. 17. 10 A holl liaws y bobl oedd allan yn
gweddio ar awr yr arogl-darthiad.
11 Ac ymddangosodd iddo angel yr Ar-
[h] Exod. 30. 1. glwydd yn sefyll o'r tu dehau i [h] allor yr
arogl-darth.
12 A Zacharïas, pan ganfu, a gythrybl-
wyd, ac ofn a syrthiodd arno.
13 Eithr yr angel a ddywedodd wrtho,
Nac ofna, Zacharïas: canys gwrandawyd
dy weddi; a'th wraig Elisabeth a ddwg i ti
[i] Adn. 60, 63. fab, a [i] thi a elwi ei enw ef Ioan.

14 A bydd i ti lawenydd a gorfoledd;
a [k] llawer a lawenychant am ei enedig- [k] Adn. 58.
aeth ef.
15 Canys mawr fydd efe yngolwg yr Ar-
glwydd, ac [l] nid yf na gwin na diod ga- [l] Num. 6.
darn; ac efe a gyflawnir o'r Yspryd Glân, 3.
[m] ie, o groth ei fam: [m] Jer. 1. 5.
16 [n] A llawer o blant Israel a dry efe at Gal. 1. 15.
yr Arglwydd eu Duw. [n] Mal. 4.
17 Ac efe a â o'i flaen ef yn yspryd a 5, 6.
nerth Elïas, [o] i droi calonnau'r tadau [o] Eccl. 48. 10.
at y plant, a'r anufudd § i ddoethineb y § Neu,
cyfiawn; i ddarparu i'r Arglwydd bobl *drwy.*
barod.
18 A dywedodd Zacharïas wrth yr angel,
[p] Pa fodd y gwybyddaf fi hyn? canys [p] Gen. 17.
henafgwr wyf fi, a'm gwraig hefyd mewn 17.
gwth o oedran.
19 A'r angel gan atteb a ddywedodd
wrtho, Myfi yw [q] Gabriel, yr hwn wyf [q] Dan. 8.
yn sefyll ger bron Duw, ac a anfonwyd i 16. a 9. 21.
lefaru wrthyt, ac ‖ i fynegi i ti y newydd- ‖ *i efang-*
ion da hyn. *ylu i ti hyn.*
20 Ac wele, [r] ti a fyddi fud ac heb allu [r] Ezec. 3.
llefaru hyd y dydd y gwneler y pethau 26. a 24. 27.
hyn, am na chredaist fy ngeiriau i, y rhai a
gyflawnir yn eu hamser.
21 Ac yr oedd y bobl yn disgwyl am
Zacharïas: a rhyfeddu a wnaethant ei fod
ef yn aros cyhyd yn y deml.
22 A phan ddaeth efe allan, ni allai efe
lefaru wrthynt: a hwy a wybuant weled o
hono weledigaeth yn y deml: ac yr oedd
efe yn gwneuthur amnaid iddynt; ac *efe* a
arhosodd yn fud.
23 A bu, cyn gynted ag y cyflawnwyd
[s] dyddiau ei weinidogaeth ef, fyned o hono [s] Edrych
i'w dŷ ei hun. 2 Bren. 11. 5.
24 Ac ar ol y dyddiau hynny y cafodd 1 Chron. 9.
Elisabeth ei wraig ef feichiogi, ac a ym- 25.
guddiodd bum mis, gan ddywedyd,
25 Fel hyn y gwnaeth yr Arglwydd i mi
yn y dyddiau'r edrychodd arnaf i [t] dynnu [t] Gen. 30.
ymaith fy ngwaradwydd ym mhlith dyn- 23.
ion. Esay 4. 1
26 ¶ Ac yn y chweched mis yr anfonwyd
yr angel Gabriel oddi wrth Dduw, i ddinas
yn Galilea a'i henw Nazareth,

27 At forwyn [u] wedi ei dyweddïo i wr a'i enw Joseph, o dŷ Ddafydd; ac enw'r forwyn *oedd* Mair.

28 A'r angel a ddaeth i mewn atti, ac a ddywedodd, Hanffych well, yr hon a gefaist ras; yr Arglwydd *sydd* gyd â thi: bendigaid *wyt* ym mhlith gwragedd.

29 A hithau, pan ei gwelodd, a gythryblwyd wrth ei ymadrodd ef; a meddylio a wnaeth pa fath gyfarch oedd hwn.

30 A dywedodd yr angel wrthi, Nac ofna, Mair: canys ti a gefaist ffafr gyd â Duw.

31 [x] Ac wele, ti a gei feichiogi yn dy groth, ac a esgori ar fab, ac [y] a elwi ei enw ef IESU.

32 Hwn fydd mawr, ac a elwir yn Fab y Goruchaf: ac iddo [z] y rhydd [a] yr Arglwydd Dduw orseddfa ei dad Dafydd.

33 [b] Ac efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd; ac ar ei frenhiniaeth ni bydd diwedd.

34 A Mair a ddywedodd wrth yr angel, Pa fodd y bydd hyn, gan nad adwaen i wr?

35 A'r angel a attebodd ac a ddywedodd wrthi, Yr Yspryd Glân a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th gysgoda di: am hynny hefyd y peth sanctaidd a aner o honot ti, a elwir yn Fab Duw.

36 Ac wele, Elisabeth dy gares, y mae hithau wedi beichiogi ar fab yn ei henaint: a hwn yw'r chweched mis iddi hi yr hon a elwid yn ammhlantadwy.

37 Canys [c] gyd â Duw ni bydd dim yn ammhosibl.

38 A dywedodd Mair, Wele wasanaethyddes yr Arglwydd; bydded i mi yn ol dy air di. A'r angel a aeth ymaith oddi wrthi hi.

39 ¶ A Mair a gyfododd yn y dyddiau hynny, ac a aeth i'r mynydd-dir ar frys, i ddinas o Juda;

40 Ac a aeth i mewn i dŷ Zacharïas, ac a gyfarchodd well i Elisabeth.

41 A bu, pan glybu Elisabeth gyfarchiad Mair, i'r plentyn yn ei chroth hi lammu: ac Elisabeth a lânwyd o'r Yspryd Glân.

42 A llefain a wnaeth â llef uchel, a dywedyd, Bendigedig *wyt* ti ym mhlith gwragedd, a bendigedig *yw* ffrwyth dy groth di.

43 Ac o ba le *y mae* hyn i mi, fel y delai mam fy Arglwydd attaf fi?

44 Canys wele, er cynted y daeth llefferydd dy gyfarchiad di i'm clustiau, y plentyn a lammodd o lawenydd yn fy nghroth.

45 A bendigedig *yw*'r hon † a gredodd: canys bydd cyflawniad o'r pethau a ddywedwyd wrthi gan yr Arglwydd.

46 ¶ A dywedodd Mair, Y mae fy enaid yn mawrhâu'r Arglwydd,

47 A'm hyspryd a lawenychodd yn Nuw fy Iachawdr.

48 Canys [d] efe a edrychodd ar waeledd ei wasanaethyddes: oblegid wele, o hyn allan yr holl genhedlaethau a'm geilw yn wŷnfydedig.

49 Canys yr hwn sydd alluog a wnaeth i mi fawredd; a sanctaidd *yw* ei enw ef.

50 [e] A'i drugaredd *sydd* yn oes oesoedd ar y rhai a'i hofnant ef.

51 [f] Efe a wnaeth gadernid â'i fraich: [g] efe a wasgarodd y rhai beilchion ym mwriad eu calon.

[u] Mat. 1. 18.
[x] Esay 7. 14. Mat. 1. 21.
[y] Pen. 2. 21.
[z] Psal. 132. 11.
[a] Esay 9. 6. a 16. 5. Dat. 3. 7.
[b] Dan. 2. 44. a 7. 14, 27. Obad. 21. Michah 4. 7. Ioan 12. 34. Heb. 1. 8.
[c] Gen. 18. 14. Jer. 32. 17. Zech. 8. 6. Mat. 19. 26. Pen. 18. 27.
† Neu, *a gredodd y bydd, &c.*
[d] Psal. 138. 6.
[e] Exod. 20. 6. Psal. 103. 17.
[f] Esay 51. 9. a 52. 10.
[g] Psal. 33. 10. 1 Petr 5. 5.

52 [h] Efe a dynnodd i lawr y cedyrn o'u heisteddfaau, ac a ddyrchafodd y rhai isel-radd.

53 [i] Y rhai newynog a lanwodd efe â phethau da; ac efe a anfonodd ymaith y rhai goludog yn weigion.

54 Efe a gynnorthwyodd ei was Israel, [k] gan gofio *ei* drugaredd;

55 [l] Fel y dywedodd wrth ein tadau, Abraham a'i had, yn dragywydd.

56 A Mair a arhosodd gyd â hi yngbylch tri mis, ac a ddychwelodd i'w thŷ ei hun.

57 ¶ A chyflawnwyd tymp Elisabeth i esgor; a hi a esgorodd ar fab.

58 A'i chymmydogion a'i chenedl a glybu fawrhâu o'r Arglwydd ei drugaredd arni; a [m] hwy a gyd-lawenychasant â hi.

59 A bu, [n] ar yr wythfed dydd hwy a ddaethant i enwaedu ar y dyn bach; ac a'i galwasant ef Zacharïas, yn ol enw ei dad.

60 A'i fam a attebodd ac a ddywedodd, [o] Nid *felly*; eithr Ioan y gelwir ef.

61 Hwythau a ddywedasant wrthi, Nid oes neb o'th genedl a elwir ar yr enw hwn.

62 A hwy a wnaethant amnaid ar ei dad ef, pa fodd y mynnai efe ei enwi ef.

63 Yntau a alwodd am argraph-lech, ac a 'sgrifenodd, gan ddywedyd, [p] Ioan yw ei enw ef. A rhyfeddu a wnaethant oll.

64 Ac agorwyd ei enau ef yn ebrwydd, a'i dafod ef; ac efe a lefarodd, gan fendithio Duw.

65 A daeth ofn ar bawb oedd yn trigo yn eu cylch hwy: a thrwy holl fynydd-dir Judea y cyhoeddwyd y ‡ geiriau hyn oll.

66 A phawb a'r a'*u* clywsant, a'*u* gosodasant yn eu calonnau, gan ddywedyd, Beth fydd y bachgennyn hwn? A llaw'r Arglwydd oedd gyd ag ef.

67 ¶ A'i dad ef Zacharïas a gyflawnwyd o'r Yspryd Glân, ac a brophwydodd, gan ddywedyd,

68 Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel: canys [q] efe a ymwelodd, ac a wnaeth ymwared i'w bobl;

69 Ac [r] *efe* a ddyrchafodd gorn iachawdwriaeth i ni, yn nhŷ Ddafydd ei wasanaethwr;

70 [s] Megis y llefarodd trwy enau ei sanctaidd brophwydi, y rhai oedd o ddechreuad y byd:

71 Fel y byddai i ni ymwared rhag ein gelynion, ac o law pawb o'n caseion;

72 I gwblhâu y drugaredd â'n tadau, ac i gofio ei sanctaidd gyfammod:

73 [t] Y llw a dyngodd efe wrth ein tad Abraham, ar roddi i ni,

74 Gwedi ein rhyddhâu o law ein gelynion, [u] ei wasanaethu ef yn ddïofn,

75 Mewn sancteiddrwydd a chyfiawnder ger ei fron ef, holl ddyddiau ein bywyd.

76 A thithau, fachgennyn, a elwir yn brophwyd i'r Goruchaf: canys [x] ti a ai o flaen wyneb yr Arglwydd, [y] i barottoi ei ffyrdd ef;

77 I roddi gwybodaeth iachawdwriaeth i'w bobl, § trwy faddeuant o'u pechodau.

78 O herwydd ‖ tiriondeb trugaredd ein Duw; trwy yr hon yr ymwelodd â ni [z] godiad haul o'r uchelder,

79 [a] I lewyrchu i'r rhai sy'n eistedd mewn tywyllwch a chysgod angau, i gyfeirio ein traed i ffordd tangnefedd.

80 [b] A'r bachgen a gynnyddodd, ac a gryfhawyd yn yr yspryd, ac [c] a fu yn y diffaethwch hyd y dydd yr ymddangosodd efe i'r Israel.

[h] 1 Sam. 2. 6, &c. Iob 5. 11. Psal. 113. 6.
[i] Psal. 34. 10.
[k] Jer. 31. 3, 20.
[l] Gen. 17. 19. Psal. 132. 11.
[m] Adn. 14.
[n] Gen. 17. 12. Lef. 12. 3.
[o] Adn. 13.
[p] Adn. 13.
‡ *pethau.*
[q] Pen. 7. 16.
[r] Psal. 132. 17.
[s] Jer. 23. 6. a 30. 10. Act. 3. 21. Rhuf. 1. 2.
[t] Gen. 12. 3. a 17. 4. a 22. 16. Heb. 6. 13, 17.
[u] Heb. 9. 14.
[x] Mal. 3. 1. a 4. 5. Adn. 17.
[y] Pen. 3. 3.
§ *er maddeuant.*
‖ *ymysgaroedd.*
[z] Num. 24. 17. Esay 11. 1. Zech. 3. 8. a 6. 12. Mal. 4. 2.
[a] Esay 9. 2. Act. 26. 18.
[b] Pen. 2. 40.
[c] Mat. 3. 1.

## PEN. II.

1 *Augustus yn trethu holl ymerodraeth Rhufain.* 6 *Genedigaeth Crist.* 8 *Angel yn ei fynegi i'r bugeiliaid;* 13 *a llawer yn canu moliant i Dduw am dano.* 21 *Enwaedu Crist.* 22 *Puredigaeth Mair.* 28 *Simeon ac Anna yn prophwydo am Grist:* 40 *ac yntau yn cynnyddu mewn doethineb:* 46 *yn ymresymmu â'r doctoriaid yn y deml,* 51 *ac yn ufudd i'w rïeni.*

BU hefyd yn y dyddiau hynny, fyned gorchymyn allan oddi wrth Augustus Cesar, i drethu yr holl fyd.

Y bummed Flwyddyn cyn y Cyfrif cyffredin a elwir *Blwyddyn yr Arglwydd.*

2 (Y trethiad yma a wnaethpwyd gyntaf pan oedd Cyrenius yn rhaglaw ar Syria)

3 A phawb a aethant i'w trethu, bob un i'w ddinas ei hun.

4 A Joseph hefyd a aeth i fynu o Galilea, o ddinas Nazareth, i Judea, i [a] ddinas Dafydd, yr hon a elwir Bethlehem (am ei fod o dŷ a thylwyth Dafydd)

[a] Ioan 7. 42.

5 I'w drethu gyd â Mair, yr hon a ddyweddïasid yn wraig iddo, yr hon oedd yn feichiog.

6 A bu, tra 'r oeddynt hwy yno, cyflawnwyd y dyddiau i esgor o honi.

7 [b] A hi a esgorodd ar ei mab † cyntafanedig, ac a'i rhwymodd ef mewn cadachau, ac a'i dododd ef yn y preseb; am nad oedd iddynt le yn y lletty.

[b] Mat. 1. 25.
† *y cyntafanedig.*

8 ¶ Ac yr oedd yn y wlad honno fugeiliaid yn aros yn y maes, ac yn gwylied eu ‡ praidd liw nos.

‡ *diadellau.*

9 Ac wele, angel yr Arglwydd a safodd ger llaw iddynt, a gogoniant yr Arglwydd a ddisgleiriodd o'u hamgylch: ac ofni yn ddirfawr a wnaethant.

10 A'r angel a ddywedodd wrthynt, Nac ofnwch: canys wele yr wyf fi yn mynegi i chwi newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl.

11 Canys ganwyd i chwi heddyw geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd.

12 A hyn *fydd* arwydd i chwi; Chwi a gewch y dyn bach wedi ei rwymo mewn cadachau, a'i ddodi yn y preseb.

13 Ac yn ddisymmwth yr oedd gyd â'r angel liaws o lu nefol, yn moliannu Duw, ac yn dywedyd,

14 [c] Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear [d] tangnefedd, i ddynion ewyllys da.

[c] Pen. 19. 38.
[d] Esay 57. 19. Eph. 2. 17.

15 A bu, pan aeth yr angylion ymaith oddi wrthynt i'r nef, § y bugeiliaid hwythau a ddywedasant wrth eu gilydd, Awn hyd Bethlehem, a gwelwn y peth hwn a wnaethpwyd, yr hwn a hyspysodd yr Arglwydd i ni.

§ Gr. *y dynion y bugeiliaid.*

16 A hwy a ddaethant ar frys; ac a gawsant Mair a Joseph, a'r dyn bach yn gorwedd yn y preseb.

17 A phan welsant, hwy a gyhoeddasant y gair a ddywedasid wrthynt am y bachgen hwn.

18 A phawb a'r a'i clywsant, a ryfeddasant am y pethau a ddywedasid gan y bugeiliaid wrthynt.

19 Eithr Mair a gadwodd y pethau hyn oll, gan eu hystyried yn ei chalon.

20 A'r bugeiliaid a ddychwelasant, gan ogoneddu a moliannu Duw am yr holl bethau a glywsent ac a welsent, fel y dywedasid wrthynt.

21 ¶ A [e] phan gyflawnwyd wyth niwrnod i enwaedu ar y dyn bach, galwyd ei enw ef [f] IESU, yr hwn a enwasid gan yr angel cyn ei ymddwyn ef yn y groth.

[e] Gen. 17. 12. Lef. 12. 3.

22 Ac wedi cyflawni [g] dyddiau ei phuredigaeth hi, yn ol deddf Moses, hwy a'i dygasant ef i Jerusalem, i'w ‖ gyflwyno i'r Arglwydd;

Y bedwaredd Flwyddyn cyn y Cyfrif cyffredin a elwir *Blwyddyn yr Arglwydd.*

23 (Fel yr ysgrifenwyd yn neddf yr Arglwydd, [h] Pob gwrryw † cyntaf-anedig a elwir yn sanctaidd i'r Arglwydd)

[f] Mat. 1. 21. Pen. 1. 31.

24 Ac i roddi aberth, yn ol [i] yr hyn a ddywedwyd yn neddf yr Arglwydd, Pâr o durturod, neu ddau gyw colommen.

[g] Lef. 12. 2, 3, 4, 6.
‖ *bresentio.*

25 Ac wele, yr oedd gwr yn Jerusalem, a'i enw Simeon; a'r gwr hwn *oedd* gyfiawn a duwiol, [k] yn disgwyl am ddiddanwch yr Israel: a'r Yspryd Glân oedd arno.

[h] Exod. 13. 2. a 22. 29. Num. 3. 13. a 18. 17.

26 Ac yr oedd wedi ei hyspysu iddo gan yr Yspryd Glân, na welai efe angau, cyn iddo weled Crist yr Arglwydd.

† *yn agoryd y groth.*
[i] Lef. 12. 2, 6, 8.

27 Ac efe a ddaeth trwy 'r yspryd i'r deml: a phan ddug ei rïeni y dyn bach Iesu, i wneuthur drosto yn ol defod y gyfraith,

[k] Esay 40. 1. Adn. 38.

28 Yna efe a'i cymmerth ef yn ei freichiau, ac a fendithiodd Dduw, ac a ddywedodd,

29 [l] Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd, yn ol dy air:

[l] Gen. 46. 30. Phil. 1. 23.

30 Canys fy llygaid [m] a welsant dy iachawdwriaeth,

[m] Esay 52. 10. Pen. 3. 6.

31 Yr hon a barottoaist ger bron wyneb yr holl bobloedd;

32 [n] Goleuni i oleuo y Cenhedloedd, a gogoniant dy bobl Israel.

[n] Esay 42. 6. a 49. 6. Act. 13. 47. a 28. 28.

33 Ac yr oedd Joseph a'i fam ef yn rhyfeddu am y pethau a ddywedwyd am dano ef.

34 A Simeon a'u bendithiodd hwynt, ac a ddywedodd wrth Mair ei fam ef, Wele, hwn a osodwyd [o] yn gwymp ac yn gyfodiad i lawer yn Israel, ac [p] yn arwydd yr hwn y dywedir yn ei erbyn;

[o] Esay 8. 14. Hos. 14. 9. Mat. 21. 44. Rhuf. 9. 32, 33. 1 Cor. 1. 23, 24. 2 Cor. 2. 16. 1 Petr 2. 7, 8.

35 (A [q] thrwy dy enaid di dy hun hefyd yr â cleddyf) fel y datguddir meddyliau llawer o galonnau.

[p] Act. 28. 22.
[q] Ioan 19. 25.

36 Ac yr oedd Anna brophwydes, merch Phanuel, o lwyth Aser: hon oedd oedrannus iawn, ac a fuasai fyw gyd â gwr saith mlynedd o'i morwyndod;

37 Ac *a fuasai* yn weddw ynghylch pedair a phedwar ugain mlynedd, yr hon nid ai allan o'r deml, ond gwasanaethu *Duw* mewn ymprydiau a gweddïau ddydd a nos.

38 A hon hefyd yn yr awr honno, gan sefyll ger llaw, a foliannodd yr Arglwydd, ac a lefarodd am dano ef wrth y rhai oll [r] oedd yn disgwyl ymwared yn ‡ Jerusalem.

[r] Marc 15. 43. Adn. 25. Pen. 24. 21.
‡ *Israel.*

39 Ac wedi iddynt orphen pob peth yn ol deddf yr Arglwydd, hwy a ddychwelasant i Galilea, i'w dinas eu hun Nazareth.

40 [s] A'r bachgen a gynnyddodd, ac a gryfhaodd yn yr yspryd, yn gyflawn o ddoethineb: a gras Duw oedd arno ef.

[s] Pen. 1. 80. Adn. 52.

41 ¶ A'i rïeni ef a aent i Jerusalem [t] bob blwyddyn ar wyl y pasg.

[t] Deut. 16. 1, 16.

42 A phan oedd efe yn ddeuddeng mlwydd oed, hwynt-hwy a aethant i fynu i Jerusalem yn ol defod yr wyl.

Bl. yr Argl. 8.

43 Ac wedi gorphen y dyddiau, a hwy yn dychwelyd, arhosodd y bachgen Iesu yn Jerusalem; ac ni wyddai Joseph a'i fam ef.

44 Eithr gan dybied ei fod ef yn y fintai, hwy a aethant daith diwrnod; ac a'i ceisiasant ef ym mhlith eu cenedl a'u cydnabod.

45 A phryd na chawsant ef, hwy a ddychwelasant i Jerusalem, gan ei geisio ef.

46 A bu, ar ol tridiau, gael o honynt hwy ef yn y deml, yn eistedd ynghanol y doctoriaid, yn gwrando arnynt, ac yn eu holi hwynt.

u Mat. 7. 28. Marc 1. 22. Pen. 4. 22, 32. Ioan 7. 15, 46.
47 u A synnu a wnaeth ar bawb a'r a'i clywsant ef, o herwydd ei ddeall ef a'i attebion.

48 A phan welsant ef, bu aruthr ganddynt. A'i fam a ddywedodd wrtho, Fy mab, paham y gwnaethost felly â ni? wele, dy dad a minnau yn ofidus a'th geisiasom di.

x Ioan 2. 16.
49 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Paham y ceisiech fi? oni wyddech fod yn rhaid i mi fod x ynghylch y pethau a berthyn i'm Tad?

y Pen. 9. 45. a 18. 34.
50 A y hwy ni ddeallasant y gair a ddywedasai efe wrthynt.

51 Ac efe a aeth i wared gyd â hwynt, ac a ddaeth i Nazareth, ac a fu ostyngedig iddynt. A'i fam ef a gadwodd yr holl eiriau hyn yn ei chalon.

z 1 Sam. 2. 26. Adn. 40.
52 A'r Iesu z a gynnyddodd mewn doethineb † a chorpholaeth, a ffafr gyd â Duw a dynion.

† *ar oedran.*

## PEN. III.

1 *Pregeth a bedydd Ioan:* 15 *ei dystiolaeth ef am Grist.* 20 *Herod yn carcharu Ioan.* 21 *Crist, wedi ei fedyddio, yn derbyn tystiolaeth o'r nef.* 23 *Oedran ac achau Crist, o Joseph i fynu.*

26. YN y bymthegfed flwyddyn o ymerodraeth Tiberius Cesar, a Phontius Pilat yn rhaglaw Judea, a Herod yn detrarch Galilea, a'i frawd Phylip yn detrarch Iturea a gwlad Trachonitis, a Lysanias yn detrarch Abilene,

a Ioan 11. 49, 51. a 18. 13. Act. 4. 6.
2 a Dan yr arch-offeiriaid Annas a Chaiaphas, y daeth gair Duw at Ioan fab Zacharias, yn y diffaethwch.

b Mat. 3. 1. Marc 1. 4.
3 b Ac efe a ddaeth i bob goror ynghylch yr Iorddonen, gan bregethu bedydd edifeirwch, er maddeuant pechodau;

c Esay 40. 3. Mat. 3. 3. Ioan 1. 23.
4 Fel y mae yn ysgrifenedig yn llyfr ymadroddion Esaias y prophwyd, yr hwn sydd yn dywedyd, c Llef un yn llefain yn y diffaethwch, Parottowch ffordd yr Arglwydd, gwnewch ei lwybrau ef yn uniawn.

5 Pob pant a lenwir, a phob mynydd a bryn a ostyngir, a'r gŵyr-geimion a wneir yn uniawn, a'r geirwon yn ffyrdd gwastad;

d Esay 52. 10.
6 A d phob cnawd a wêl iachawdwriaeth Duw.

7 Am hynny efe a ddywedodd wrth y bobl oedd yn dyfod i'w bedyddio ganddo,

e Mat. 3. 7. e O genhedlaeth gwiberod, pwy a'ch rhagrybuddiodd chwi i ffoi oddi wrth y digofaint sydd ar ddyfod?

† *teilwng o edifeirwch.*
8 Dygwch gan hynny ffrwythau † addas i edifeirwch; ac na ddechreuwch ddywedyd ynoch eich hunain, Y mae genym ni Abraham yn dad: canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y dichon Duw o'r cerrig hyn godi plant i Abraham.

f Mat. 7. 19.
9 Ac yr awr hon y mae'r fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y preniau: f pob pren gan hynny a'r nid yw yn dwyn ffrwyth da, a gymmynir i lawr, ac a fwrir yn tân.

g Act. 2. 37.
10 A'r bobloedd a ofynasant iddo, gan ddywedyd, g Pa beth gan hynny a wnawn ni?

11 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, h Y neb sydd ganddo ddwy bais, rhodded i'r neb sydd heb yr un; a'r neb sydd ganddo fwyd, gwnaed yr un modd.

h Iago 2. 15, 16. 1 Ioan 3. 17. a 4. 20.

12 A'r publicanod hefyd a ddaethant i'w bedyddio, ac a ddywedasant wrtho, Athraw, beth a wnawn ni?

13 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Na chesglwch ddim mwy nag sydd wedi ei osod i chwi.

14 A'r milwŷr hefyd a ofynasant iddo, gan ddywedyd, A pha beth a wnawn ninnau? A efe a ddywedodd wrthynt, ‡ Na fyddwch draws wrth neb, ac na chamachwynwch *ar neb;* a byddwch fodlon i'ch cyflogau.

‡ *Na roddwch ofn ar neb.*

15 Ac fel yr oedd y bobl yn disgwyl, a phawb yn § meddylied yn eu calonnau am Ioan, ai efe oedd y Crist;

§ *ymresymmu.*

16 Ioan a attebodd, gan ddywedyd wrthynt oll, i Myfi yn ddiau wyf yn eich bedyddio chwi â dwfr: ond y mae un cryfach nâ myfi yn dyfod, yr hwn nid wyf fi deilwng i ddattod carrai ei esgidiau: efe a'ch bedyddia chwi â'r Yspryd Glân, ac â thân.

i Mat. 3. 11.

17 Yr hwn *y mae* ei wyntyll yn ei law, ac efe a lwyr-lanhâ ei lawr-dyrnu, ac a gasgl y gwenith i'w ysgubor; ond yr us a lysg efe â thân anniffoddadwy.

18 A llawer o bethau eraill a gynghorodd efe, ac a bregethodd i'r bobl.

19 k Ond Herod y tetrarch, pan geryddwyd ef ganddo am Herodias gwraig Phylip ei frawd, ac am yr holl ddrygioni a wnaethai Herod, 30.

k Mat. 14. 3. Marc 6. 17.

20 A chwanegodd hyn hefyd heb law'r cwbl, ac a gauodd ar Ioan yn y carchar.

21 ¶ l A bu, pan oeddid yn bedyddio'r holl bobl, a'r Iesu yn ei fedyddio hefyd, ac yn gweddïo, agorwyd y nef, 27.

l Mat. 3. 13. Ioan 1. 32.

22 A disgyn o'r Yspryd Glân mewn rhith corphorol, megis colommen, arno ef; a dyfod llef o'r nef yn dywedyd, Ti yw fy anwyl Fab; ynot ti y'm boddlonwyd.

23 A'r Iesu ei hun oedd m ynghylch dechreu ei ddengmlwydd ar hugain oed, n mab (fel y tybid) i Joseph, *fab* † Eli,

m Edrych Num. 4. 3. 35, 39, 43, 47.

24 *Fab* Matthat, *fab* Lefi, *fab* Melchi, *fab* Janna, *fab* Joseph,

n Mat. 13. 55. Ioan 6. 42.

25 *Fab* Mattathïas, *fab* Amos, *fab* Naum, *fab* Esli, *fab* Naggai,

† *Neu, Heli.*

26 *Fab* Maath, *fab* Mattathïas, *fab* Semei, *fab* Joseph, *fab* Juda,

27 *Fab* Joanna, *fab* Rhesa, *fab* Zorobabel, *fab* Salathiel, *fab* Neri,

28 *Fab* Melchi, *fab* Adi, *fab* Cosam, *fab* Elmodam, *fab* Er,

29 *Fab* Jose, *fab* Elïezer, *fab* Jorim, *fab* Matthat, *fab* Lefi,

30 *Fab* Simeon, *fab* Juda, *fab* Joseph, *fab* Jonan, *fab* Elïacim,

31 *Fab* Melea, *fab* Maïnan, *fab* Mattatha, o *fab* Nathan, p *fab* Dafydd,

o Zech. 12. 12.

32 q *Fab* Jesse, *fab* Obed, *fab* Booz, *fab* Salmon, *fab* Naasson,

p 2 Sam. 5. 14. 1 Chron. 3. 5.

33 *Fab* Aminadab, *fab* Aram, *fab* Esrom, *fab* Phares, *fab* Juda,

q Ruth 4. 18. 1 Chron. 2. 10.

34 *Fab* Jacob, *fab* Isaac, *fab* Abraham, r *fab* Thara, *fab* Nachor,

r Gen. 11. 24, 26.

35 *Fab* Saruch, *fab* Ragau, *fab* Phalec, *fab* Heber, *fab* Sala,

36 *Fab* Cainan, *fab* Arphaxad, s *fab* Sem, *fab* Noë, *fab* Lamech,

s Gen. 5. 6, &c. a 11. 10, &c.

37 *Fab* Mathusala, *fab* Enoch, *fab* Jared, *fab* Maleleel, *fab* Cainan,

38 *Fab* Enos, *fab* Seth, *fab* Adda, *fab* Duw.

## PEN. IV.

1 *Temtiad ac ympryd Crist.* 13 *Y mae efe yn gorchfygu 'r cythraul:* 14 *yn dechreu pregethu.* 16 *Pobl Nazareth yn rhyfeddu am ei eiriau grasusol ef.* 33 *Y mae efe yn iachâu un cythreulig,* 38 *a mam gwraig Petr,* 40 *a llawer o gleifion eraill.* 41 *Y cythreuliaid yn cydnabod Crist, ac yn cael cerydd am hynny.* 43 *Y mae efe yn pregethu trwy y dinasoedd.*

27. A'R [a] Iesu yn llawn o'r Yspryd Glân, a
[a] Mat. 4. 1. ddychwelodd oddi wrth yr Iorddonen,
Marc 1. 12. ac a arweiniwyd gan yr yspryd i'r anialwch,
2 Yn cael ei demtio gan ddiafol ddeu-
[b] Exod. 34. 28. gain niwrnod. Ac [b] ni fwyttaodd efe ddim
1 Bren. 19. 8. o fewn y dyddiau hynny: ac wedi eu di-
weddu hwynt, ar ol hynny y daeth arno
chwant bwyd.
3 A dywedodd diafol wrtho, Os mab
Duw ydwyt ti, dywaid wrth y garreg hon,
fel y gwneler hi yn fara.
4 A'r Iesu a attebodd iddo, gan ddy-
[c] Deut. 8. 3. wedyd, [c] Ysgrifenedig yw, Nad ar fara yn
unig y bydd dyn fyw, ond ar bob gair
Duw.
5 A diafol, wedi ei gymmeryd ef i fynu i
fynydd uchel, a ddangosodd iddo holl deyr-
nasoedd y ddaear mewn munud awr.
6 A diafol a ddywedodd wrtho, I ti y
rhoddaf yr awdurdod hon oll, a'u gogo-
[d] Dat. 13. 2, 7. niant hwynt: canys [d] i mi y rhoddwyd;
ac i bwy bynnag y mynnwyf y rhoddaf fin-
nau hi.
† *a'm haddoli i.* 7 Os tydi gan hynny † a addoli o'm blaen,
eiddot ti fyddant oll.
8 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrtho, Dos ymaith, Satan, yn fy ol i; canys
[e] Deut. 6. 13. a 10. 20. [e] ysgrifenedig yw, Addoli yr Arglwydd, dy
Dduw, ac ef yn unig a wasanaethi.
[f] Mat. 4. 5. 9 [f] Ac efe a'i dug ef i Jerusalem, ac a'i
gosododd ar binacl y deml, ac a ddywed-
odd wrtho, Os mab Duw ydwyt, bwrw dy
hun i lawr oddi yma.
[g] Psal. 91. 11. 10 Canys [g] ysgrifenedig yw, Y gorchy-
myn efe i'w angylion o'th achos di, ar dy
gadw di:
11 Ac y cyfodant di yn *eu* dwylaw, rhag
i ti un amser daro dy droed wrth garreg.
12 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
[h] Deut. 6. 16. wrtho, [h] Dywedwyd, Na themtia 'r Ar-
glwydd dy Dduw.
13 Ac wedi i ddiafol orphen yr holl
‡ *hyd amser cyfaddas.* demtasiwn, efe a ymadawodd ag ef ‡ [i] dros
amser.
[i] Ioan 14. 30. 14 ¶ A'r Iesu a ddychwelodd trwy nerth
yr yspryd i [k] Galilea: a son a aeth am dano
30. ef trwy'r holl fro oddi amgylch.
[k] Act. 10. 37. 15 Ac yr oedd efe yn athrawiaethu yn eu
synagogau hwynt, ac yn cael anrhydedd gan
bawb.
31. 16 ¶ Ac efe a ddaeth i [l] Nazareth, lle y
[l] Mat. 2. 23. a 13. 54. magesid ef: ac yn ol ei arfer, efe a aeth i'r
synagog ar y sabbath, ac a gyfododd i fynu
i ddarllain.
17 A rhodded atto lyfr y prophwyd
Esaias: Ac wedi iddo agoryd y llyfr, efe a
gafodd y lle yr oedd yn ysgrifenedig,
[m] Esay 61. 1. 18 [m] Yspryd yr Arglwydd *sydd* arnaf fi,
§ *o herwydd paham y'm henneiniodd.* § o herwydd iddo fy enneinio i; i bregethu
i'r tlodion yr anfonodd fi, i iachâu'r dryll-
iedig o galon, i bregethu gollyngdod i'r
caethion, a chaffaeliad golwg i'r deillion, i
ollwng y rhai ysig mewn rhydd-deb;
19 I bregethu blwyddyn gymmeradwy 'r
Arglwydd.
20 Ac wedi iddo gau'r llyfr, a'i roddi
i'r gweinidog, efe a eisteddodd. A llygaid
pawb oll yn y synagog oedd yn craffu arno.
21 Ac efe a ddechreuodd ddywedyd wrth-
ynt, Heddyw y cyflawnwyd yr ysgrythyr
hon yn eich clustiau chwi.
22 Ac yr oedd pawb yn dwyn tystiolaeth
iddo, ac yr oeddynt [n] yn rhyfeddu am y [n] Mat. 13. 54.
geiriau grasusol a ddeuai allan o'i enau ef. A Pen. 2. ¶
hwy a ddywedasant, [o] Onid hwn yw mab [o] Ioan 6. 42.
Joseph?
23 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Yn
hollawl y dywedwch y ddiareb hon wrthyf,
Y meddyg, iachâ di dy hun: y pethau a
glywsom ni eu gwneuthur yn [p] Capernaum, [p] Mat. 4. 13.
gwna yma hefyd yn [q] dy wlad dy hun.
24 Ac efe a ddywedodd, Yn wir meddaf [q] Mat. 13. 54.
i chwi, [r] Nad yw un prophwyd yn gymme- Marc 6. 1.
radwy yn ei wlad ei hun. [r] Mat. 13. 57.
25 Eithr mewn gwirionedd meddaf i
chwi, [s] Llawer o wragedd gweddwon oedd Marc 6. 4.
yn Israel yn nyddiau Elias, pan gauwyd y Ioan 4. 44.
nef dair blynedd a chwe mis, fel y bu ne- [s] 1 Bren. 17. 9.
wyn mawr trwy 'r holl dir; Iago 5. 17.
26 Ac nid at yr un o honynt yr anfon-
wyd Elias, ond i Sarepta yn Sidon, at wraig
weddw.
27 A [t] llawer o wahan-gleifion oedd yn [t] 2 Bren. 5. 14.
Israel yn amser Eliseus y prophwyd; ac ni
lanhawyd yr un o honynt, ond Naaman y
Syriad.
28 A'r rhai oll yn y synagog, wrth glyw-
ed y pethau hyn, a lanwyd o ddigofaint;
29 Ac a godasant i fynu, ac a'i bwriasant
ef allan o'r ddinas, ac a'i dygasant ef hyd
ar || ael y bryn yr hwn yr oedd eu dinas we- || *fin.*
di ei hadeiladu arno, ar fedr ei fwrw ef
bendramwnwgl i lawr.
30 Ond efe, [u] gan fyned trwy eu canol [u] Ioan 8. 59.
hwynt, a aeth ymaith;
31 Ac [x] a ddaeth i waered i Capernaum, [x] Mat. 4. 13.
dinas yn Galilea: ac yr oedd yn eu dysgu Marc 1. 21.
hwynt ar y dyddiau sabbath.
32 A bu aruthr ganddynt wrth ei athraw-
iaeth ef: [y] canys ei ymadrodd ef oedd gyd [y] Mat. 7. 29.
ag awdurdod. Tit. 2. 15.
33 ¶ [z] Ac yn y synagog yr oedd dyn â
chanddo yspryd cythraul aflan; ac efe a [z] Marc 1. 23.
waeddodd â llef uchel,
34 Gan ddywedyd, † Och, beth sydd i ni † *Paid*
a wnelom â thi, Iesu o Nazareth? a ddaeth-
ost ti i'n difetha ni? Myfi a'th adwaen pwy
ydwyt; Sanct Duw.
35 A'r Iesu a'i ceryddodd ef, gan ddy-
wedyd, Distawa, a dos allan o hono. A'r
cythraul, wedi ei daflu ef i'r canol, a aeth
allan o hono, heb wneuthur dim niweid
iddo.
36 A daeth braw arnynt oll: a chyd-
ymddiddanasant â'u gilydd, gan ddywed-
yd, Pa ymadrodd *yw* hwn? gan ei fod ef
trwy awdurdod a nerth yn gorchymyn
yr ysprydion aflan, a hwythau yn myned
allan.
37 A son am dano a aeth allan i bob man
o'r wlad oddi amgylch.
38 ¶ [a] A phan gyfododd *yr Iesu* o'r syn- [a] Mat. 8. 14.
agog, efe a aeth i mewn i dŷ Simon. Ac yr Marc. 1. 29.
oedd ‡ chwegr Simon yn glaf o gryd blin: ‡ *mam ei wraig ef.*
a hwy a attolygasant arno drosti hi.
39 Ac efe a safodd uwch *ei phen* hi, ac a
geryddodd y cryd; a'r *cryd* a'i gadawodd
hi: ac yn y fan hi a gyfododd, ac a wasa-
naethodd arnynt hwy.
40 ¶ [b] A phan fachludodd yr haul, pawb [b] Mat. 8. 16.
a'r oedd ganddynt rai cleifion o amryw Marc 1. 32.
glefydau, a'u dygasant hwy atto ef; ac efe a

roddes ei ddwylaw ar bob un o honynt, ac a'u hiachaodd hwynt.

c Marc 1. 34. a 3. 11. d Marc 1. 25, 34. † Neu, *canys gwyddent.*
41 [c] A'r cythreuliaid hefyd a aethant allan o lawer, dan lefain a dywedyd, Ti yw Crist, Mab Duw. Ac [d] efe a'u ceryddodd hwynt, ac nid adawai iddynt ddywedyd † y gwyddent mai efe oedd y Crist.

e Marc 1. 35.
42 [e] Ac wedi ei myned hi yn ddydd, efe a aeth allan, ac a gychwynodd i le diffaeth: a'r bobloedd a'i ceisiasant ef; a hwy a ddaethant hyd atto, ac a'i hattaliasant ef rhag myned ymaith oddi wrthynt.

43 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Yn wir y mae yn rhaid i mi bregethu teyrnas Dduw i ddinasoedd eraill hefyd: canys i hyn y'm danfonwyd.

f Marc 1. 39.
44 [f] Ac yr oedd efe yn pregethu yn synagogau Galilea.

## PEN. V.

*1 Crist yn dysgu y bobl allan o long Petr. 4 Trwy helfa ryfeddol o bysgod, yn dangos pa fodd y gwnai efe ef a'i gyfeillion yn bysgodwŷr dynion: 12 yn glanhâu y gwahan-glwyfus: 16 yn gweddio yn y diffaethwch: 18 yn iachâu un claf o'r parlys: 27 yn galw Matthew y publican. 29 Megis Physygwr eneidiau, yn bwytta gyd â phechaduriaid: 34 yn rhag-fynegi ymprydiau a chystuddiau i'r Apostolion, ar ol ei ddyrchafiad ef: 36 ac yn cyffelybu disgyblion llwfr gweiniaid i gostrelau hen, a dillad wedi treulio.*

31.
a Mat. 4. 18. Marc 1. 16.
BU [a] hefyd, a'r bobl yn pwyso atto i wrando gair Duw, yr oedd yntau yn sefyll yn ymyl llyn Gennesaret;

2 Ac efe a welai ddwy long yn sefyll wrth y llyn: a'r pysgodwŷr a aethent allan o honynt, ac oeddynt yn golchi *eu* rhwydau.

3 Ac efe a aeth i mewn i un o'r llongau, yr hon oedd eiddo Simon, ac a ddymunodd arno wthio ychydig oddi wrth y tir. Ac efe a eisteddodd, ac a ddysgodd y bobloedd allan o'r llong.

b Ioan 21. 6.
4 A phan beidiodd â llefaru, efe a ddywedodd wrth Simon, [b] Gwthia i'r dwfn, a bwriwch eich rhwydau am helfa.

5 A Simon a attebodd ac a ddywedodd wrtho, O Feistr, er i ni boeni ar hŷd y nos, ni ddaliasom ni ddim: etto ar dy air di mi a fwriaf y rhwyd.

6 Ac wedi iddynt wneuthur hynny, hwy a ddaliasant liaws mawr o bysgod: a'u rhwyd hwynt a rwygodd.

7 A hwy a amneidiasant ar *eu* cyfeillion, oedd yn y llong arall, i ddyfod i'w cynnorthwyo hwynt. A hwy a ddaethant; a llanwasant y ddwy long, onid oeddynt hwy ar soddi.

c Edrych 2 Sam. 6. 9. 1 Bren. 17. 18.
8 A Simon Petr, pan welodd *hynny*, a syrthiodd wrth liniau'r Iesu, gan ddywedyd, [c] Dos ymaith oddi wrthyf; canys dyn pechadurus wyf fi, O Arglwydd.

9 Oblegid braw a ddaethai arno ef, a'r rhai oll oedd gyd ag ef, o herwydd yr helfa bysgod a ddaliasent hwy:

d Mat. 4. 19.
10 A'r un ffunud ar Iago ac Ioan hefyd, meibion Zebedëus, y rhai oedd gyfrannogion â Simon. A dywedodd yr Iesu wrth Simon, Nac ofna: [d] o hyn allan y dèli ddynion.

e Mat. 10. 37. Luc 18. 28.
11 Ac wedi iddynt ddwyn y llongau i dir, [e] hwy a adawsant bob peth, ac a'i dilynasant ef.

f Mat. 8. 2. Marc 1. 40.
12 ¶ A [f] bu, fel yr oedd efe mewn rhyw ddinas, wele wr yn llawn o'r gwahanglwyf: a phan welodd efe yr Iesu, efe a syrthiodd ar *ei* wyneb, ac a ymbiliodd ag ef, gan ddywedyd, O Arglwydd, os ewyllysi, ti a elli fy nglanhâu.

13 Yntau a estynodd *ei* law, ac a gyffyrddodd ag ef, gan ddywedyd, Yr wyf yn ewyllysio; bydd lân. Ac yn ebrwydd y gwahan-glwyf a aeth ymaith oddi wrtho.

g Lef. 14. 4, 10, 21, 22.
14 Ac efe a orchymynodd iddo na ddywedai i neb: eithr dos *ymaith*, a dangos dy hun i'r offeiriad, ac offrwm dros dy lanhâd, [g] fel y gorchymynodd Moses, er tystiolaeth iddynt.

15 A'r gair am dano a aeth yn fwy ar led: a llawer o bobloedd a ddaethant ynghŷd i'w wrando ef, ac i'w hiachâu ganddo o'u clefydau.

16 ¶ Ac yr oedd efe yn cilio o'r neilldu yn y diffaethwch, ac yn gweddio.

17 A bu ar ryw ddiwrnod, fel yr oedd efe yn athrawiaethu, fod Phariseaid a doctoriaid y gyfraith yn eistedd *yno*, y rhai a ddaethent o bob pentref yn Galilea, a Judea, a Jerusalem: ac yr oedd gallu'r Arglwydd i'w hiachâu hwynt.

h Mat. 9. 2. Marc 2. 3.
18 ¶ [h] Ac wele wŷr yn dwyn mewn gwely ddyn a oedd glaf o'r parlys: a hwy a geisiasant ei ddwyn ef i mewn, a'i ddodi ger ei fron ef.

19 A phan na fedrent gael pa ffordd y dygent ef i mewn, o achos y dyrfa, hwy a ddringasant ar nen y tŷ, ac a'i gollyngasant ef i wared yn y gwely trwy'r pridd-lechau, yn y canol ger bron yr Iesu.

20 A phan welodd efe eu ffydd hwynt, efe a ddywedodd wrtho, Y dyn, maddeuwyd i ti dy bechodau.

i Psal. 32. 5. Esay 43. 25. † *meddyliau.*
21 A'r ysgrifenyddion a'r Phariseaid a ddechreuasant ymresymmu, gan ddywedyd, Pwy yw hwn sydd yn dywedyd cabledd? [i] pwy a ddichon faddeu pechodau ond Duw yn unig?

22 A'r Iesu, yn gwybod eu † hymresymmiadau hwynt, a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Pa resymmu yn eich calonnau yr ydych?

23 Pa un hawsaf, ai dywedyd, Maddeuwyd i ti dy bechodau; ai dywedyd, Cyfod, a rhodia?

24 Ond fel y gwypoch fod gan Fab y dyn awdurdod ar y ddaear i faddeu pechodau, (eb efe wrth y claf o'r parlys) Yr wyf yn dywedyd wrthyt, Cyfod, a chymmer dy wely, a dos i'th dŷ.

25 Ac yn y man y cyfododd efe i fynu yn eu gŵydd hwynt; ac efe a gymmerth yr hyn y gorweddai arno, ac a aeth ymaith i'w dŷ ei hun, gan ogoneddu Duw.

26 A syndod a ddaeth ar bawb, a hwy a ogoneddasant Dduw; a hwy a lanwyd o ofn, gan ddywedyd, Gwelsom bethau anhygoel heddyw.

k Mat. 9. 9. Marc 2. 13, 14.
27 ¶ [k] Ac ar ol y pethau hyn yr aeth efe allan, ac a welodd bublican a'i enw Lefi, yn eistedd wrth y dollfa: ac efe a ddywedodd wrtho, Dilyn fi.

28 Ac efe a adawodd bob peth, ac a gyfododd i fynu, ac a'i dilynodd ef.

29 A gwnaeth Lefi iddo wledd fawr yn ei dŷ: ac yr oedd tyrfa fawr o bublicanod ac eraill, yn eistedd gyd â hwynt ar y bwrdd.

‡ *rwgnachasant.*
30 Eithr eu 'sgrifenyddion a'u Phariseaid hwynt a ‡ furmurasant yn erbyn ei ddisgyblion ef, gan ddywedyd, Paham yr ydych chwi yn bwytta ac yn yfed gyd â phublicanod a phechaduriaid?

31 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg; ond i'r rhai cleifion.

32 [l] Ni ddaethum i alw rhai cyfiawn, ond pechaduriaid i edifeirwch.
[l Mat. 9. 13. 1 Tim. 1. 15.]

33 ¶ A hwy a ddywedasant wrtho, [m] Paham y mae disgyblion Ioan yn ymprydio yn fynych, ac yn gwneuthur gweddïau, a'r un modd yr eiddo y Phariseaid; ond yr eiddot ti yn bwytta ac yn yfed?
[m Mat. 9. 14. Marc 2. 18.]

34 Yntau a ddywedodd wrthynt, A ellwch chwi beri i blant yr ystafell briodas ymprydio, tra fyddo'r priodas-fab gyd â hwynt?

35 Ond y dyddiau a ddaw, pan ddyger y priodas-fab oddi arnynt; ac yna yr ymprydiant yn y dyddiau hynny.

36 ¶ [n] Ac efe a ddywedodd hefyd ddammeg wrthynt: Ni rydd neb lain o ddilledyn newydd mewn hen ddilledyn: os amgen, y mae y newydd yn gwneuthur rhwygiad, a'r llain o'r newydd ni chyttuna â'r hen.
[n Mat. 9. 16, 17. Marc 2. 21, 22.]

37 Ac nid yw neb yn bwrw gwin newydd i hen gostrelau; os amgen, y gwin newydd a ddryllia'r costrelau, ac efe a red allan, a'r costrelau a gollir.

38 Eithr gwin newydd sydd raid ei fwrw mewn costrelau newyddion; a'r ddau a gedwir.

39 Ac nid oes neb gwedi iddo yfed *gwin* hen, a chwennych y newydd yn y fan: canys efe a ddywaid, Gwell yw'r hen.

## PEN. VI.

1 *Crist yn argyoeddi dallineb y Phariseaid ynghylch cadw'r sabbath, trwy 'sgrythyrau, a rheswm, a gwyrthiau:* 13 *yn dewis deuddeg apostol:* 17 *yn iachâu'r cleifion:* 20 *a cher bron y bobl, yn pregethu i'w ddisgyblion fendithion a melldithion.* 27 *Pa fodd y mae i ni garu ein gelynion:* 46 *a chysylltu ufudd-dod gweithredoedd da ynghŷd â gwrandaw y gair; rhag, yn nrug-ddydd profedigaeth, i ni syrthio fel tŷ wedi ei adeiladu ar wyneb y ddaear, heb ddim sylfaen.*

31. A [a] Bu ar yr ail prif sabbath, fyned o hono trwy'r ŷd: a'i ddisgyblion a dynnasant y tywys, ac a'u bwyttasant, gwedi eu rhwbio â'u dwylaw.
[a Mat. 12. 1. Marc 2. 23.]

2 A rhai o'r Phariseaid a ddywedasant wrthynt, Paham yr ydych yn gwneuthur yr hyn nid yw gyfreithlon ei wneuthur ar y sabbathau?

3 A'r Iesu gan atteb iddynt, a ddywedodd, Oni ddarllenasoch hyn chwaith, [b] yr hyn a wnaeth Dafydd, pan oedd chwant bwyd arno ef, a'r rhai oedd gyd ag ef:
[b 1 Sam. 21. 6.]

4 Y modd yr aeth efe i mewn i dŷ Dduw, ac y cymmerth ac y bwyttaodd y † bara gosod, ac a'i rhoddes hefyd i'r rhai oedd gyd ag ef; ‡ [c] yr hwn nid yw gyfreithlon ei fwytta, ond i'r offeiriaid yn unig?
[† torthau dangos. ‡ y rhai. c Lef. 24. 9.]

5 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y mae Mab y dyn yn Arglwydd ar y sabbath hefyd.

6 ¶ [d] A bu hefyd ar sabbath arall, iddo fyned i mewn i'r synagog, ac athrawiaethu: ac yr oedd yno ddyn â'i law ddehau § wedi gwywo.
[d Mat. 12. 9. Marc 3. 1. § yn ddiffrwyth.]

7 Ar ysgrifenyddion a'r Phariseaid ‖ a'i gwyliasant ef, a iachâi efe ef ar y *dydd* sabbath; fel y caffent achwyn yn ei erbyn ef.
[‖ a ddalfasant arno.]

8 Eithr efe a wybu eu meddyliau hwynt, ac a ddywedodd wrth y dyn oedd â'r llaw † wedi gwywo, Cyfod i fynu, a saf yn y canol. Ac efe a gyfododd i fynu, ac a safodd.
[† ddiffrwyth.]

9 Yr Iesu am hynny a ddywedodd wrthynt, Myfi a ofynaf i chwi, Beth sydd gyfreithlon ar y sabbathau? gwneuthur da, ynte gwneuthur drwg? cadw einioes, ai colli?

10 Ac wedi edrych arnynt oll oddi amgylch, efe a ddywedodd wrth y dyn, Estyn dy law. Ac efe a wnaeth felly: a'i law ef a wnaed yn iach fel y llall.

11 A hwy a lanwyd o ynfydrwydd, ac a ymddiddanasant y naill wrth y llall, pa beth a wnaent i'r Iesu.

12 A bu yn y dyddiau hynny, fyned o hono ef allan i'r mynydd i weddïo; a pharhâu ar hŷd y nos ‡ yn gweddïo Duw.
[‡ Gr. mewn gweddi ar Dduw.]

13 ¶ A phan aeth hi yn ddydd, efe a alwodd atto ei ddisgyblion: ac [e] o honynt efe a etholodd ddeuddeg, y rhai hefyd a enwodd efe yn Apostolion;
[e Mat. 10. 1.]

14 Simon ([f] yr hwn hefyd a enwodd efe Petr) ac Andreas ei frawd; Iago, ac Ioan; Phylip, a Bartholomëus;
[f Ioan 1. 42.]

15 Matthew, a Thomas; Iago *fab* Alphëus, a Simon a elwir Zelotes;

16 Judas [g] *brawd* Iago, a Judas Iscariot, yr hwn hefyd a aeth yn fradwr.
[g Judas 1.]

17 ¶ Ac efe a aeth i wared gyd â hwynt, ac a safodd mewn gwastattir; a'r dyrfa o'i ddisgyblion, a llïaws mawr o bobl o holl Judea a Jerusalem, ac o duedd môr Tyrus a Sidon, y rhai a ddaeth § i wrando arno, ac i'w hiachâu o'u clefydau;
[§ i'w glywed ef.]

18 A'r rhai a flinid gan ysprydion aflan: a hwy a iachawyd.

19 A'r holl dyrfa [h] oedd yn ceisio cyffwrdd ag ef; am [i] fod nerth yn myned o hono allan, ac yn iachâu pawb.
[h Mat. 14. 36. i Mat. 5. 30. Pen. 8. 46.]

20 ¶ Ac efe a ddyrchafodd ei olygon ar ei ddisgyblion, ac a ddywedodd, [k] Gwyn eich byd y tlodion: canys eiddoch chwi yw teyrnas Dduw.
[k Mat. 5. 3.]

21 [l] Gwŷn eich byd y rhai ydych yn dwyn newyn yr awr hon: canys chwi a ddigonir. [m] Gwŷn eich byd y rhai ydych yn wylo yr awr hon: canys chwi a chwerddwch.
[l Esay 55. 1. a 65. 13. m Esay 61. 3.]

22 [n] Gwŷn eich byd pan y'ch casao dynion, a phan y'ch [o] didolant *oddi wrthynt*, ac y'*ch* gwaradwyddant, ac y bwriant eich enw allan megis drwg, ‖ er mwyn Mab y dyn.
[n Mat. 5. 11. 1 Petr 2. 19. a 3. 14. o Ioan 16. 2. ‖ o achos.]

23 [p] Byddwch lawen y dydd hwnnw, a llemmwch: canys wele, eich gwobr *sydd* fawr yn y nef: oblegid [q] yr un ffunud y gwnaeth eu tadau hwynt i'r prophwydi.
[p Act. 5. 41. q Act. 7. 51.]

24 [r] Eithr gwae chwi'r [s] cyfoethogion: canys [t] derbyniasoch eich diddanwch.
[r Amos 6. 1. Eccl. 31. 8. Iago 5. 1. s Pen. 12. 21. t Mat. 6. 2, 5, 16.]

25 [u] Gwae chwi y rhai llawn: canys chwi a ddygwch newyn. Gwae chwi y rhai a chwerddwch yr awr hon: canys chwi a alarwch ac a wylwch.
[u Esay 65. 13.]

26 Gwae chwi pan ddywedo pob dyn yn dda am danoch: canys felly y gwnaeth eu tadau hwynt i'r gau-brophwydi.

27 ¶ [x] Ond yr wyf yn dywedyd wrthych chwi y rhai ydych yn gwrando, Cerwch eich gelynion; gwnewch dda i'r rhai a'ch casânt:
[x Mat. 5. 44. Rhuf. 12. 20.]

28 Bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, a [y] gweddïwch dros y rhai a'ch drygant.
[y Pen. 23. 34. Act. 7. 60.]

29 [z] Ac i'r hwn a'th darawo ar y *naill* gern, cynnyg y llall hefyd; [a] ac i'r hwn a ddygo ymaith dy gochl, na wahardd dy bais hefyd.
[z Mat. 5. 39. a 1 Cor. 6. 7.]

30 [b] A dyro i bob un a geisio gennyt; a chan y neb a fyddo yn dwyn yr eiddot, na chais eilchwyl.
[b Mat. 5. 42.]

c Tob. 4. 15. Mat. 7. 12. — 31 [c] Ac fel y mynnech wneuthur o ddynion i chwi, gwnewch chwithau iddynt yr un ffunud.

d Mat. 5. 46. † *sydd.* — 32 [d] Ac os cerwch y rhai a'ch carant chwithau, pa ddïolch † fydd i chwi? oblegid y mae pechaduriaid hefyd yn caru y rhai a'u câr hwythau.

33 Ac os gwnewch dda i'r rhai a wnant dda i chwithau, pa ddïolch fydd i chwi? oblegid y mae'r pechaduriaid hefyd yn gwneuthur yr un peth.

e Mat. 5. 42. — 34 [e] Ac os rhoddwch echwyn i'r rhai yr ydych yn gobeithio y cewch chwithau ganddynt, pa ddïolch fydd i chwi? oblegid y mae'r pechaduriaid hefyd yn rhoddi echwyn i bechaduriaid, fel y derbyniont y cyffelyb.

f Adn. 27. g Mat. 5. 45. — 35 Eithr [f] cerwch eich gelynion, a gwnewch dda, a rhoddwch echwyn, heb obeithio dim drachefn; a'ch gwobr a fydd mawr, a [g] phlant fyddwch i'r Goruchaf: canys daionus yw efe i'r rhai annïolchgar a drwg.

36 Byddwch gan hynny drugarogion, megis ag y mae eich Tad yn drugarog.

h Mat. 7. 1. — 37 Ac [h] na fernwch, ac ni'ch bernir: na chondemniwch, ac ni'ch condemnir: maddeuwch, a maddeuir i chwithau:

i Diar. 19. 17. k Psal. 79. 12. l Mat. 7. 2. Marc 4. 24. — 38 [i] Rhoddwch, a rhoddir i chwi: mesur da, dwysedig, ac [k] wedi ei ysgwyd, ac yn myned trosodd, a roddant yn eich mynwes: canys [l] â'r un mesur ag y mesuroch, y mesurir i chwi drachefn.

m Mat. 15. 14. — 39 Ac efe a ddywedodd ddammeg wrthynt: [m] A ddichon y dall dywyso'r dall? oni syrthiant ill dau yn y clawdd?

n Mat. 10. 24. Ioan 13. 16. a 15. 20. ‡ Neu, *a fydd perffaith fel, &c.* — 40 [n] Nid yw'r disgybl uwch law ei athraw: eithr pob un ‡ perffaith a fydd fel ei athraw.

o Mat. 7. 3. — 41 [o] A phaham yr wyt ti yn edrych ar y brycheuyn sydd yn llygad dy frawd, ac nad ydwyt yn ystyried y trawst sydd yn dy lygad dy hun?

p Edrych Diar. 18. 17. — 42 Neu pa fodd y gelli di ddywedyd wrth dy frawd, *Fy* mrawd, gâd i mi dynnu allan y brycheuyn sydd yn dy lygad, a thithau heb weled y trawst sydd yn dy lygad dy hun? O ragrithiwr, [p] bwrw allan y trawst o'th lygad dy hun yn gyntaf; ac yna y gweli yn eglur dynnu allan y brycheuyn sydd yn llygad dy frawd.

q Mat. 7. 16, 17. — 43 Canys [q] nid yw pren da yn dwyn ffrwyth drwg; na phren drwg yn dwyn ffrwyth da.

r Mat. 12. 33. — 44 Oblegid [r] pob pren a adwaenir wrth ei ffrwyth ei hun: canys nid oddi ar ddrain y casglant ffigys, nac oddi ar berth yr heliant rawnwin.

s Mat. 12. 35. t Mat. 12. 34. — 45 [s] Y dyn da, o ddaionus drysor ei galon, a ddwg allan ddaioni; a'r dyn drwg, o ddrygionus drysor ei galon, a ddwg allan ddrygioni: canys [t] o helaethrwydd y galon y mae ei enau yn llefaru.

u Mal. 1. 6. Mat. 7. 21. Pen. 13. 25. — 46 ¶ [u] Paham hefyd yr ydych yn fy ngalw i, Arglwydd, Arglwydd, ac nad ydych yn gwneuthur yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd?

x Mat. 7. 24. — 47 [x] Pwy bynnag a ddêl attaf fi, ac a wrendy fy ngeiriau, ac a'u gwnelo hwynt, mi a ddangosaf i chwi i bwy y mae efe yn gyffelyb.

48 Cyffelyb yw i ddyn yn adeiladu tŷ, yr hwn a gloddiodd, ac a aeth yn ddwfn, ac a osododd ei sail ar y graig: a phan ddaeth llifeiriant, y llif-ddyfroedd a gurodd ar y tŷ hwnnw, ac ni allai ei siglo; canys yr oedd wedi ei seilio ar y graig.

49 Ond yr hwn a wrendy, ac ni wna, cyffelyb yw i ddyn a adeiladai dŷ ar y ddaear, heb sail; ar yr hwn y curodd y llif-ddyfroedd, ac yn y fan y syrthiodd: a chwymp y tŷ hwnnw oedd fawr.

## PEN. VII.

1 *Crist yn caffael mwy o ffydd yn y canwriad, un o'r Cenhedloedd, nag yn yr un o'r Iuddewon:* 10 *yn iachâu ei was ef yn ei absen:* 11 *yn cyfodi o farw i fyw fab y wraig weddw o Naïn:* 19 *yn atteb cenhadon Ioan, trwy ddangos ei wyrthiau:* 24 *yn tystiolaethu i'r bobl ei feddwl am Ioan:* 30 *yn bwrw bai ar yr Iuddewon, y rhai ni ellid eu hynnill na thrwy ymarweddiad Ioan, na'r eiddo'r Iesu:* 36 *ac yn dangos trwy achlysur Mair Magdalen, pa fodd y mae efe yn gyfaill i bechaduriaid, nid i'w maentumio mewn pechodau, ond i faddeu iddynt eu pechodau, ar eu ffydd a'u hedifeirwch.*

AC wedi iddo orphen ei holl ymadrodd- 31.
ion lle y clywai y bobl, [a] efe a aeth i a Mat. 8. 5.
mewn i Capernaum.

2 A gwas rhyw ganwriad, yr hwn oedd anwyl ganddo, oedd yn ddrwg ei hwyl, ym mron marw.

3 A phan glybu efe son am yr Iesu, efe a ddanfonodd atto henuriaid yr Iuddewon, gan attolwg iddo ddyfod a iachâu ei was ef.

4 Y rhai pan ddaethant at yr Iesu, a attolygasant arno yn daer, gan ddywedyd, Oblegid y mae efe yn haeddu cael gwneuthur o honot hyn iddo.

5 Canys y mae yn caru ein cenedl ni, ac efe a adeiladodd i ni synagog.

6 A'r Iesu a aeth gyd â hwynt. Ac efe weithian heb fod neppell oddi wrth y tŷ, y canwriad a anfonodd gyfeillion atto, gan ddywedyd wrtho, Arglwydd, na phoena; canys nid wyf fi deilwng i ddyfod o honot dan fy nghronglwyd:

7 O herwydd paham ni'm tybiais fy hun yn deilwng i ddyfod attat: eithr dywaid y gair, a iach fydd fy ngwas.

8 Canys dyn wyf finnau wedi fy ngosod dan awdurdod, a chennyf filwŷr danaf: ac meddaf wrth † hwn, Dos, ac efe a â; ac † *un.*
wrth arall, Tyred, ac efe a ddaw; ac wrth fy ngwas, Gwna hyn, ac efe a'i gwna.

9 Pan glybu'r Iesu y pethau hyn, efe a ryfeddodd wrtho, ac a drodd, ac a ddywedodd wrth y bobl oedd yn ei ganlyn, Yr ydwyf yn dywedyd i chwi, Ni chefais gymmaint ffydd, na ddo yn yr Israel.

10 A'r rhai a anfonasid, wedi iddynt ddychwelyd i'r tŷ, a gawsant y gwas a fuasai glaf, yn holliach.

11 ¶ A bu drannoeth, iddo ef fyned i ddinas a elwid Naïn; a chyd ag ef yr aeth
‡ llawer o'i ddisgyblion, a thyrfa fawr. ‡ *bagad.*

12 A phan ddaeth efe yn agos at borth y ddinas, wele un marw a ddygid allan, *yr hwn oedd* unig fab ei fam, a honno yn weddw: a bagad o bobl y ddinas oedd gyd â hi.

13 A'r Arglwydd pan y gwelodd hi, a gymmerodd drugaredd arni, ac a ddywedodd wrthi, Nac wylo.

14 A phan ddaeth *attynt*, efe a gyffyrddodd
â'r § elor: (a'r rhai oedd yn ei dwyn, a safa- § Neu, *arch.*
sant) Ac efe a ddywedodd, Y mab ieuangc,
yr wyf yn dywedyd wrthyt, [b] Cyfod. b Act. 9. 40.

15 A'r marw a gyfododd yn ei eistedd, ac a ddechreuodd lefaru. Ac efe a'i rhoddes i'w fam.

c Pen. 24. 19. Ioan 4. 19. a 6. 14. a 9. 17.
d Pen. 1. 68.

16 Ac ofn a ddaeth ar bawb: a hwy a ogoneddasant Dduw, gan ddywedyd, c Prophwyd mawr a gyfododd yn ein plith; ac, d Ymwelodd Duw â'i bobl.

17 A'r gair hwn a aeth allan am dano trwy holl Judea, a thrwy gwbl o'r wlad oddi amgylch.

e Mat. 11. 2.

18 e A'i ddisgyblion a fynegasant i Ioan hyn oll.

19 ¶ Ac Ioan, wedi galw rhyw ddau o'i ddisgyblion atto, a anfonodd at yr Iesu, gan ddywedyd, Ai ti yw'r hwn sy'n dyfod? ai un arall yr ŷm yn ei ddisgwyl?

20 A'r gwŷr pan ddaethant atto, a ddywedasant, Ioan Fedyddiwr a'n danfonodd ni attat ti, gan ddywedyd, Ai ti yw'r hwn sy'n dyfod? ai arall yr ŷm yn ei ddisgwyl?

21 A'r awr honno efe a iachaodd lawer oddi wrth glefydau, a phlaau, ac ysprydion drwg; ac i lawer o ddeillion y rhoddes efe eu golwg.

f Esay 35. 5.

22 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Ewch a mynegwch i Ioan y pethau a welsoch ac a glywsoch; f fod y deillion yn gweled eilwaith, y cloffion yn rhodio, y gwahan-glwyfus wedi eu glanhâu, y byddariaid yn clywed, y meirw yn cyfodi, y tlodion yn derbyn yr efengyl.

23 A gwyn ei fyd y neb ni rwystrir ynof fi.

g Mat. 11. 7.

24 ¶ g Ac wedi i genhadau Ioan fyned ymaith, efe a ddechreuodd ddywedyd wrth y bobloedd am Ioan, Beth yr aethoch allan i'r diffaethwch i'w weled? Ai corsen yn siglo gan wynt?

25 Ond pa beth yr aethoch allan i'w weled? Ai dyn wedi ei ddilladu â dillad esmwyth? Wele, y rhai sy'n arfer dillad anrhydeddus, a moethau, mewn palasau brenhinoedd y maent.

26 Eithr beth yr aethoch allan i'w weled? Ai prophwyd? Yn ddiau meddaf i chwi, a llawer mwy nâ phrophwyd.

h Mal. 3. 1.

27 Hwn yw *efe* am yr un yr ysgrifenwyd, h Wele, yr wyf fi yn anfon fy nghennad o flaen dy wyneb, yr hwn a barottoa dy ffordd o'th flaen.

28 Canys meddaf i chwi, Ym mhlith y rhai a aned o wragedd, nid oes brophwyd mwy nag Ioan Fedyddiwr: eithr yr hwn sydd leiaf yn nheyrnas Dduw, sydd fwy nag ef.

29 A'r holl bobl a'r oedd yn gwrando, a'r publicanod, a gyfiawnhasant Dduw, gwedi eu bedyddio â bedydd Ioan.

† Neu, *ynddynt eu hunain.*
‡ *ferniasant hebddo.*
i Act. 20. 27.

30 Eithr y Phariseaid a'r cyfreithwŷr † yn eu herbyn eu hunain a ‡ ddiystyrasant i gyngor Duw, heb eu bedyddio ganddo.

k Mat. 11. 16.

31 ¶ A dywedodd yr Arglwydd, k I bwy gan hynny y cyffelybaf ddynion y genhedlaeth hon? ac i ba beth y maent yn debyg?

32 Tebyg ydynt i blant yn eisteddd yn y farchnad, ac yn llefain wrth eu gilydd, ac yn dywedyd, Canasom bibau i chwi, ac ni ddawnsiasoch; cwynfanasom i chwi, ac nid wylasoch.

l Mat. 3. 4. Marc 1. 6.

33 Canys daeth l Ioan Fedyddiwr heb na bwytta bara, nac yfed gwin; a chwi a ddywedwch, Y mae cythraul ganddo.

34 Daeth Mab y dyn yn bwytta ac yn yfed; ac yr ydych yn dywedyd, Wele ddyn glwth, ac yfwr gwin, cyfaill publicanod a phechaduriaid.

35 A doethineb a gyfiawnhawyd gan bawb o'i phlant.

m Mat. 26. 6. Marc 14. 3. Ioan 11. 2.

36 ¶ m Ac un o'r Phariseaid a ddymunodd arno fwytta gyd ag ef: ac yntau a aeth i dŷ'r Pharisead, ac a eisteddodd i fwytta.

37 Ac wele, gwraig yn y ddinas, yr hon oedd bechadures, pan wybu hi fod yr Iesu yn eistedd ar y bwrdd yn nhŷ'r Pharisead, a ddug flwch o ennaint:

38 A chan sefyll wrth ei draed ef o'r tu ol, ac wylo, *hi* a ddechreuodd olchi ei draed ef â dagrau, ac a'u sychodd â gwallt ei phen: a hi a gusanodd ei draed ef, ac a'u hirodd â'r ennaint.

n Pen. 15. 2.

39 A phan welodd y Pharisead, yr hwn a'i gwahoddasai, efe a ddywedodd ynddo ei hun, gan ddywedyd, Pe bai n hwn brophwyd, efe a wybuasai pwy, a pha fath wraig *yw'r hon* sydd yn cyffwrdd ag ef: canys pechadures yw hi.

40 A'r Iesu gan atteb a ddywedodd wrtho, Simon, y mae gennyf beth i'w ddywedyd wrthyt. Yntau a ddywedodd, Athraw, dywaid.

§ Gwel Mat. 18. 28.

41 Dau ddyledwr oedd i'r un echwynwr: y naill oedd arno § bum can ceiniog o ddyled, a'r llall ddeg a deugain.

42 A phryd nad oedd ganddynt ddim i dalu, efe a faddeuodd iddynt ill dau. Dywaid gan hynny, pwy o'r rhai hyn a'i câr ef yn fwyaf?

43 A Simon a attebodd ac a ddywedodd, Yr wyf fi yn tybied mai'r hwn y maddeuodd efe iddo fwyaf. Yntau a ddywedodd wrtho, Uniawn y bernaist.

44 Ac efe a drodd at y wraig, ac a ddywedodd wrth Simon, A weli di y wraig hon? mi a ddaethum i'th dŷ di, ac ni roddaist i mi ddwfr i'm traed: ond hon a olchodd fy nhraed â dagrau, ac a'u sychodd â gwallt ei phen.

45 Ni roddaist i mi gusan: ond hon, er pan ddaethum i mewn, ni pheidiodd â chusanu fy nhraed.

o Psal. 23. 5.

46 o Fy mhen ag olew nid iraist: ond hon a irodd fy nhraed ag ennaint.

p 1 Tim. 1. 14.

47 p O herwydd paham y dywedaf wrthyt, Maddeuwyd ei haml bechodau hi; oblegid hi a garodd yn fawr: ond y neb y maddeuer ychydig iddo, a gâr ychydig.

48 Ac efe a ddywedodd wrthi, Maddeuwyd i ti dy bechodau.

q Mat. 9. 3. Marc 2. 7.
r Mat. 9. 22. Marc 5. 34. a 10. 52. Pen. 8. 48. a 18. 42.

49 A'r rhai oedd yn cyd-eistedd i fwytta a ddechreuasant ddywedyd ynddynt eu hunain, q Pwy yw hwn sydd yn maddeu pechodau hefyd?

50 Ac efe a ddywedodd wrth y wraig, r Dy ffydd a'th gadwodd; dos mewn tangnefedd.

## PEN. VIII.

*1 Y gwragedd yn gweini i Grist o'u golud. 4 Crist, wedi iddo bregethu o fan i fan, a'i apostolion yn ei ganlyn, yn gosod allan ddammeg yr hauwr; 16 a'r ganwyll: 21 yn dangos pwy ydyw ei fam a'i frodyr: 22 yn ceryddu y gwyntoedd: 26 yn bwrw y lleng gythreuliaid allan o'r dyn, i'r genfaint foch. 37 Y Gadareniaid yn ei wrthod ef: 43 yntau yn iachâu y wraig o'i diferlif gwaed, 49 ac yn bywhâu merch Jairus.*

A Bu wedi hynny, iddo fyned trwy bob 31.
dinas a thref, gan bregethu, ac efangylu teyrnas Dduw: a'r deuddeg *oedd* gyd ag ef;

a Mat. 27. 55, 56.
b Marc 16. 9.

2 A a gwragedd rai, a'r a iachesid oddi wrth ysprydion drwg a gwendid; Mair yr hon a elwid Magdalen, b o'r hon yr aethai saith gythraul allan;

3 Joanna, gwraig Chusa, goruchwyliwr Herod; a Susanna, a llawer eraill, y rhai oedd yn gweini iddo o'r pethau oedd ganddynt.

c Mat. 13. 2. Marc 4. 1.

4 ¶ c Ac wedi i lawer o bobl ymgynnull ynghŷd, a chyrchu atto o bob dinas, efe a ddywedodd ar ddammeg:

5 Yr hauwr a aeth allan i hau ei had: ac wrth hau, peth a syrthiodd ar ymyl y ffordd; ac a fathrwyd, ac ehediaid y nef a'i bwyttaodd.

6 A pheth arall a syrthiodd ar y graig; a phan eginodd, y gwywodd, am nad oedd iddo wlybwr.

7 A pheth arall a syrthiodd ym mysg drain; a'r drain a gyd-dyfasant, ac a'i tagasant ef.

8 A pheth arall a syrthiodd ar dir da; ac a eginodd, ac a ddug ffrwyth ar ei ganfed. Wrth ddywedyd y pethau hyn, efe a lefodd, Y neb sydd â chlustiau ganddo i wrando, gwrandawed.

d Mat. 13. 10. Marc 4. 10.

9 d A'i ddisgyblion a ofynasant iddo, gan ddywedyd, Pa ddammeg oedd hon?

10 Yntau a ddywedodd, I chwi y rhoddwyd gwybod dirgeloedd teyrnas Duw: eithr i eraill ar ddamhegion; e fel yn gweled na welant, ac yn clywed na ddeallant.

e Esay 6. 9. Marc 4. 12. Ioan 12. 40.

11 A f dyma'r ddammeg: Yr had yw gair Duw.

f Mat. 13. 18.

12 A'r rhai ar ymyl y ffordd, ydyw y rhai sy yn gwrando: wedi hynny y mae diafol yn dyfod, ac yn dwyn ymaith y gair o'u calon hwynt, rhag iddynt gredu, a bod yn gadwedig.

13 A'r rhai ar y graig, *yw y rhai* pan glywant, a dderbyniant y gair yn llawen; a'r rhai hyn nid oes ganddynt wreiddyn, y rhai sydd yn credu dros amser, ac yn amser profedigaeth yn cilio.

14 A'r hwn a syrthiodd ym mysg drain, yw y rhai a wrandawsant; ac wedi iddynt fyned ymaith, hwy a dagwyd gan ofalon, a golud, a melyswedd buchedd, ac nid ydynt yn dwyn ffrwyth i berffeithrwydd.

† *onest.*

15 A'r hwn ar y tir da, yw y rhai hyn, y rhai â chalon † hawddgar a da, ydynt yn gwrando'r gair, ac yn ei gadw, ac yn dwyn ffrwyth trwy amynedd.

g Mat. 5. 15. Marc 4. 21. Pen. 11. 33.

16 ¶ g Nid yw neb wedi goleu canwyll, yn ei chuddio hi â llestr, neu yn *ei* dodi dan wely; eithr yn ei gosod ar ganhwyllbren, fel y caffo y rhai a ddêl i mewn weled y goleuni.

h Mat. 10. 26. Pen. 12. 2.

17 h Canys nid oes dim dirgel, a'r ni bydd amlwg; na dim cuddiedig, a'r ni's gwybyddir, ac na ddaw i'r goleu.

i Mat. 13. 12. a 25. 29. Pen. 19. 26. ‡ *tybygir ei, &c.*

18 Edrychwch am hynny pa fodd y clywoch: i canys pwy bynnag y mae ganddo, y rhoddir iddo; a'r neb nid oes ganddo, ie, yr hyn y ‡ mae yn tybied ei fod ganddo, a ddygir oddi arno.

k Mat. 12. 46. Marc 3. 31. § *ymddiddan ag ef.*

19 ¶ k Daeth atto hefyd *ei* fam a'i frodyr; ac ni allent § ddyfod hyd atto gan y dorf.

20 A mynegwyd iddo *gan rai*, yn dywedyd, Y mae dy fam a'th frodyr yn sefyll allan, yn ewyllysio dy weled.

21 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Fy mam i a'm brodyr i yw y rhai hyn sy'n gwrando gair Duw, ac yn ei wneuthur.

l Mat. 8. 23. Marc 4. 35.

22 ¶ A l bu ar ryw ddiwrnod, ac efe a aeth i long, efe a'i ddisgyblion: a dywedodd wrthynt, Awn trosodd i'r tu hwnt i'r llyn. A hwy a gychwynasant.

23 Ac fel yr oeddynt yn hwylio, efe a hunodd: a chawod o wynt a ddisgynodd ar y llyn; ac yr oeddynt yn llawn *o ddwfr*, ac mewn enbydrwydd.

24 A hwy a aethant atto, ac a'i deffroisant ef, gan ddywedyd, O Feistr, Feistr, darfu am danom. Ac efe a gyfododd, ac a geryddodd y gwynt a'r tonnau dwfr: a hwy a beidiasant, a hi a aeth yn dawel.

25 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa le y mae eich ffydd chwi? A hwy wedi ofni, a ryfeddasant, gan ddywedyd wrth eu gilydd, Pwy yw hwn, gan ei fod yn gorchymyn i'r gwyntoedd ac i'r dwfr hefyd, a hwythau yn ufuddhâu iddo?

26 ¶ A m hwy a hwyliasant i wlad y Gadareniaid, yr hon sydd o'r tu arall, ar gyfer Galilea. m Mat. 8. 28. Marc. 5. 1.

27 Ac wedi iddo fyned allan i dir, cyfarfu ag ef ryw wr o'r ddinas, yr hwn oedd ganddo gythreuliaid er ys talm o amser; ac ni wisgai ddillad, ac nid arhosai mewn tŷ, ond yn y beddau.

28 *Hwn*, wedi gweled yr Iesu, a dolefain, a syrthiodd i lawr ger ei fron ef, ac a ddywedodd â llef uchel, Beth sydd i mi â thi, O Iesu, Fab Duw goruchaf? yr wyf yn attolwg i ti na'm poenech.

29 (Canys efe a orchymynasai i'r yspryd aflan ddyfod allan o'r dyn. Canys llawer o amserau y cipiasai ef: ac efe a gedwid yn rhwym â chadwynau, ac â llyffetheiriau; ac wedi dryllio y rhwymau, efe a yrrwyd gan y cythraul i'r diffaethwch)

30 A'r Iesu a ofynodd iddo, gan ddywedyd, Beth yw dy enw di? Yntau a ddywedodd, Lleng: canys llawer o gythreuliaid a aethent iddo ef.

31 A hwy a ddeisyfiasant arno, na orchymynai iddynt fyned i'r dyfnder.

32 Ac yr oedd yno genfaint o foch lawer yn pori ar y mynydd: a hwynt-hwy a attolygasant iddo adael iddynt fyned i mewn i'r rhai hynny. Ac efe a adawodd iddynt.

33 A'r cythreuliaid a aethant allan o'r dyn, ac a aethant i mewn i'r moch: a'r genfaint a ruthrodd oddi ar y dibyn i'r llyn, ac a foddwyd.

34 A phan welodd ‖ y meichiaid yr hyn a ddarfuasai, hwy a ffoisant, ac a aethant ac a fynegasant yn y ddinas, ac yn y wlad. ‖ *Sef, porthwyr y moch.*

35 A hwy a aethant allan i weled y peth a wnelsid; ac a ddaethant at yr Iesu, ac a gawsant y dyn, o'r hwn yr aethai y cythreuliaid allan, yn ei ddillad, a'i iawn bwyll, yn eistedd wrth draed yr Iesu: a hwy a ofnasant.

36 A'r rhai a welsent, a fynegasant hefyd iddynt pa fodd y iachasid y cythreulig.

37 ¶ A'r holl liaws o gylch gwlad y Gadareniaid n a ddymunasant arno fyned ymaith oddi wrthynt; am eu bod mewn ofn mawr. Ac efe wedi myned i'r llong, a ddychwelodd. n Act. 16. 39.

38 o A'r gwr o'r hwn yr aethai y cythreuliaid allan, a ddeisyfiodd arno gael bod gyd ag ef: eithr yr Iesu a'i danfonodd ef ymaith, gan ddywedyd, o Marc 5. 18.

39 Dychwel i'th dŷ, a dangos faint o bethau a wnaeth Duw i ti. Ac efe a aeth, dan bregethu trwy gwbl o'r ddinas, faint a wnaethai'r Iesu iddo.

40 A bu, pan ddychwelodd yr Iesu, dderbyn o'r bobl ef: canys yr oeddynt oll yn disgwyl am dano ef.

p Mat. 9. 41 ¶ p Ac wele, daeth gŵr a'i enw Jair-
18. Marc 5. 22. us, ac efe oedd lywodraethwr y synagog:
ac efe a syrthiodd wrth draed yr Iesu, ac a
attolygodd iddo ddyfod i'w dŷ ef:
42 O herwydd yr oedd iddo ferch unig-
anedig ynghylch deuddeng mlwydd oed, a
hon oedd yn marw. (Ond fel yr oedd efe yn
myned, y bobloedd a'i gwasgent ef.
q Mat. 9. 43 ¶ q A gwraig yr hon oedd mewn di-
20. ferlif gwaed er ys deuddeng mlynedd, yr
† eiddo. hon a dreuliasai ar physygwyr ei holl † fyw-
yd, ac ni's gallai gael gan neb ei hiachâu,
44 A ddaeth o'r tu cefn, ac a gyffyrddodd
ag ymyl ei wisg ef: ac yn y fan y safodd
diferlif ei gwaed hi.
45 A dywedodd yr Iesu, Pwy *yw* a gy-
ffyrddodd â mi? Ac a phawb yn gwadu,
y dywedodd Petr, a'r rhai oedd gyd ag ef,
O Feistr, y mae'r bobloedd yn dy wasgu,
ac yn *dy* flino; ac a ddywedi di, Pwy *yw* a
gyffyrddodd â mi?
46 A'r Iesu a ddywedodd, Rhyw un a
gyffyrddodd â mi: canys mi a wn fyned
‡ nerth. ‡ r rhinwedd allan o honof.
r Marc 5. 30. Pen. 6. 19. 47 A phan welodd y wraig nad oedd hi
guddiedig, hi a ddaeth dan grynu, ac a syrth-
iodd ger ei bron ef, ac a fynegodd iddo, yng-
wydd yr holl bobl, am ba achos y cyffyrdda-
sai hi ag ef, ac fel yr iachasid hi yn ebrwydd.
48 Yntau a ddywedodd wrthi, Cymmer
gysur, ferch: dy ffydd a'th iachaodd: dos
mewn tangnefedd.)
s Marc 5. 35. 49 ¶ s Ac efe etto yn llefaru, daeth un
o *dŷ* llywodraethwr y synagog, gan ddy-
wedyd wrtho, Bu farw dy ferch: na phoena
mo'r Athraw.
50 A'r Iesu pan glybu *hyn*, a'i hattebodd
ef, gan ddywedyd, Nac ofna: cred yn unig,
a hi a iacheir.
51 Ac wedi ei fyned ef i'r tŷ, ni adaw-
odd i neb ddyfod i mewn, ond Petr, ac Iago,
ac Ioan, a thad yr eneth a'i mam.
§ galaru. 52 Ac wylo a wnaethant oll, a § chwynfan
am dani. Eithr efe a ddywedodd, Nac wyl-
t Ioan 11. 11, 13. wch: nid marw hi; t eithr cysgu y mae.
53 A hwy a'i gwatwarasant ef, am iddynt
wybod ei marw hi.
54 Ac efe a'u bwriodd hwynt oll allan, ac
a'i cymmerth hi erbyn ei llaw, ac a lefodd,
gan ddywedyd, Herlodes, cyfod.
55 A'i hyspryd hi a ddaeth drachefn, a
hi a gyfododd yn ebrwydd: ac efe a orchy-
mynodd roi bwyd iddi.
56 A synnu a wnaeth ar ei rhïeni hi: ac
u Mat. 8. 4. a 9. 30. u efe a orchymynodd iddynt, na ddywedent
Marc 5. 43. i neb y peth a wnaethid.

## PEN. IX.

1 *Crist yn anfon ei apostolion i wneuthur rhyfeddodau, ac i bregethu.* 7 *Herod yn chwennych gweled Crist.* 17 *Crist yn porthi pum mil.* 18 *yn ymofyn beth yr oedd y byd yn ei dybied am dano:* 22 *yn rhag-fynegi ei ddioddefaint:* 23 *yn gosod allan i bawb siampl o'i ddioddefgarwch.* 28 *Ei weddnewidiad ef.* 37 *Mae efe yn iachâu'r lloerig:* 43 *a thrachefn yn rhag-rybuddio ei ddisgyblion am ei ddioddefaint:* 46 *yn canmol gostyngeiddrwydd:* 51 *yn gorchymyn iddynt ddangos llarieidd-dra tu ag at bawb, heb chwennych dial.* 57 *Rhai yn chwennych ei ganlyn ef, ond dan ammod.*

a Mat. 10. 1. AC a efe a alwodd ynghŷd ei ddeuddeg
Marc 3. 13. & 6. 7. disgybl, ac a roddes iddynt feddiant
ac awdurdod ar yr holl gythreuliaid, ac i
iachâu clefydau.
2 Ac b efe a'u hanfonodd hwynt i bre- b Mat. 10. 7.
gethu teyrnas Duw, ac i iachâu y rhai Marc 6. 12.
cleifion. Pen. 10. 11
3 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Na
chymmerwch ddim i'r daith, na ffyn, nac
ysgrepan, na bara, nac arian; ac na fydd-
ed gennych ddwy bais bob un.
4 Ac i ba dŷ bynnag yr eloch i mewn,
arhoswch yno, ac oddi yno ymadewch.
5 c A pha rai bynnag ni'ch derbyniant, c Mat. 10.
pan eloch allan o'r ddinas honno, d Ysgydw- 14.
wch hyd yn oed y llwch oddi wrth eich d Act. 13.
traed, yn dystiolaeth yn eu herbyn hwynt. 51.
6 Ac wedi iddynt fyned allan, hwy a
aethant trwy'r trefi, gan bregethu'r efeng-
yl, a iachâu ym mhob lle.
7 ¶ e A Herod y tetrarch a glybu y cwbl 32.
oll a wnaethid ganddo; ac efe a bettrusodd, e Mat. 14.
am fod rhai yn dywedyd gyfodi Ioan o 1. Marc 6. 14.
feirw;
8 A rhai eraill, ymddangos o Elïas; a
rhai eraill, mai prophwyd, un o'r rhai
gynt, a adgyfodasai.
9 A Herod a ddywedodd, Ioan a dorrais
i ei ben: ond pwy ydyw hwn yr wyf yn
clywed y cyfryw bethau am dano? Ac yr
oedd efe yn ceisio ei weled ef.
10 ¶ f A'r apostolion, wedi dychwelyd, f Marc 6.
a fynegasant iddo y cwbl a wnaethent. 30.
g Ac efe a'u cymmerth hwynt, ac a aeth o'r g Mat. 14.
neilldu, i le anghyfannedd yn perthynu i'r 13.
ddinas a elwir Betsaida.
11 A'r bobloedd pan wybuant, a'i di-
lynasant ef: ac efe a'u derbyniodd hwynt,
ac a lefarodd wrthynt am deyrnas Duw,
ac a iachaodd y rhai oedd arnynt eisiau eu
hiachâu.
12 † A'r dydd a ddechreuodd hwyrhâu: † Mat. 14.
a'r deuddeg a ddaethant ac a ddywed- 15.
asant wrtho, Gollwng y dyrfa ymaith, fel Marc 6. 35
y gallont fyned i'r trefi, ac i'r wlad oddi Ioan 6. 1,
amgylch, i lettya, ac i gael bwyd: canys yr 5.
ydym ni yma mewn lle anghyfannedd.
13 Eithr efe a ddywedodd wrthynt,
Rhoddwch chwi iddynt *beth* i'w fwytta.
A hwythau a ddywedasant, Nid oes gen-
nym ni ond pum torth, a dau bysgodyn,
oni bydd i ni fyned a phrynu bwyd i'r bobl
hyn oll.
14 Canys yr oeddynt ynghylch pum mil
o wŷr. Ac efe a ddywedodd wrth ei ddis-
gyblion, Gwnewch iddynt eistedd yn fydd-
eidiau, bob yn ddeg a deugain.
15 Ac felly y gwnaethant; a *hwy* a
wnaethant iddynt oll eistedd.
16 Ac efe a gymmerodd y pum torth, a'r
ddau bysgodyn, ac a edrychodd i fynu i'r
nef, ac a'*u* bendithiodd hwynt, ac a'*u* tor-
rodd, ac a'*u* rhoddodd i'r disgyblion i'w
gosod ger bron y bobl.
17 A hwynt-hwy oll a fwyttasant, ac a
gawsant ddigon: a chyfodwyd a weddillasai
iddynt o friw-fwyd, ddeuddeg basgedaid.
18 ¶ h Bu hefyd, fel yr oedd efe yn h Mat. 16.
gweddïo ei hunan, fod ei ddisgyblion gyd 13.
ag ef: ac efe a ofynodd iddynt, gan ddy- Marc 8. 27.
wedyd, Pwy y mae'r bobl yn dywedyd fy
mod i?
19 Hwythau gan atteb a ddywedasant,
i Ioan Fedyddiwr; ond eraill, mai Elïas; i Mat. 14.
ac eraill, mai rhyw brophwyd o'r rhai gynt 2.
a adgyfododd.
20 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ond
pwy yr ydych chwi yn dywedyd fy mod
i? k A Phetr gan atteb a ddywedodd, k Ioan 6.
Crist Duw. 69.

21 Ac efe a roes orchymyn arnynt, ac a archodd *iddynt* na ddywedent hynny i neb.

22 Gan ddywedyd, [l] Mae yn rhaid i Fab y dyn oddef llawer, a'i wrthod gan yr henuriaid, a'r arch-offeiriaid, a'r ysgrifenyddion, a'i ladd, a'r trydydd dydd adgyfodi.

l Mat. 17. 22.

23 ¶ Ac efe a ddywedodd wrth bawb, [m] Os ewyllysia neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded ag ef ei hun, a choded ei groes beunydd, a dilyned fi.

m Mat. 10. 38. a 16. 24. Marc 8. 34. Pen. 14. 27.

24 Canys pwy bynnag a ewyllysio gadw ei einioes, a'i cyll; ond pwy bynnag a gollo ei einioes o'm hachos i, hwnnw a'i ceidw hi.

25 [n] Canys pa lesâd i ddyn, er ennill yr holl fyd, a'i ddifetha ei hun, neu fod wedi ei golli?

n Mat. 16. 26. Marc 8. 36.

26 [o] Canys pwy bynnag fyddo cywilydd ganddo fi a'm geiriau, hwnnw fydd gywilydd gan Fab y dyn, pan ddelo yn ei ogoniant ei hun, a'r Tad, a'r angylion sanctaidd.

o Mat. 10. 33. Marc 8. 38. 2 Tim. 2. 12.

27 [p] Eithr dywedaf i chwi yn wir, Y mae rhai o'r sawl sy yn sefyll yma a'r ni archwaethant angau, hyd oni welont deyrnas Duw.

p Mat. 16. 28. Marc 9. 1.

28 ¶ [q] A bu, ynghylch wyth niwrnod wedi'r † geiriau hyn, gymmeryd o hono ef Petr, ac Ioan, ac Iago, a myned i fynu i'r mynydd i weddïo.

q Mat. 17. 1. Marc 9. 2. † *pethau.*

29 Ac fel yr oedd efe yn gweddïo, gwedd ei wynebpryd ef a newidiwyd, a'i wisg *oedd* yn wen ddisglair.

30 Ac wele, dau wr a gyd-ymddiddanodd ag ef, y rhai oedd Moses ac Elïas.

31 Y rhai a ymddangosasant mewn gogoniant, ac a ddywedasant am ei ymadawiad ef, yr hwn a gyflawnai efe yn Jerusalem.

32 A Phetr, a'r rhai oedd gyd ag ef, oeddynt [r] wedi trymhâu gan gysgu: a phan ddihunasant, hwy a welsant ei ogoniant ef, a'r ddau wr y rhai oedd yn sefyll gyd ag ef.

r Dan. 8. 18. a 10. 9.

33 A bu, a hwy yn ymadaw oddi wrtho ef, ddywedyd o Petr wrth yr Iesu, O Feistr, da yw i ni fod yma: gwnawn dair pabell; un i ti, ac un i Moses, ac un i Elïas: heb wybod beth yr oedd yn ei ddywedyd.

34 Ac fel yr oedd efe yn dywedyd hyn, daeth cwmmwl ac a'u cysgododd hwynt: a hwynt-hwy a ofnasant wrth fyned o honynt i'r cwmmwl.

35 A daeth llef allan o'r cwmmwl, gan ddywedyd, [s] Hwn yw fy Mab anwyl; [t] gwrandêwch ef.

s Mat. 3. 17. t Act. 3. 22.

36 ‡ Ac wedi bod y llef, cafwyd yr Iesu yn unig. A hwy a gelasant, ac ni fynegasant i neb y dyddiau hynny ddim o'r pethau a welsent.

‡ *A chyd â bod, &c.*

37 ¶ A [u] darfu drannoeth, pan ddaethant i wared o'r mynydd, i dyrfa fawr gyfarfod ag ef.

u Mat. 17. 14. Marc 9. 17.

38 Ac wele, gwr o'r dyrfa a ddolefodd, gan ddywedyd, O Athraw, yr wyf yn attolwg i ti, edrych ar fy mab; canys fy unig-anedig yw.

39 Ac wele, y mae yspryd yn ei gymmeryd ef, ac yntau yn ddisymmwth yn gwaeddi; ac y mae yn ei ddryllio ef, hyd oni falo ewyn; a braidd yr ymedy oddi wrtho, wedi iddo ei ysigo ef.

40 Ac mi a ddeisyfiais ar dy ddisgyblion di ei fwrw ef allan; ac ni's gallasant.

41 A'r Iesu gan atteb a ddywedodd, O genhedlaeth anffyddlon a throfaus, pa hyd y byddaf gyd â chwi, ac y'ch goddefaf? dwg dy fab yma.

42 Ac fel yr oedd efe etto yn dyfod, y cythraul a'i rhwygodd ef, ac a'i drylliodd: a'r Iesu a geryddodd yr yspryd aflan, ac a iachaodd y bachgen, ac a'i rhoddes ef i'w dad.

43 ¶ A brawychu a wnaethant oll gan fawredd Duw. Ac a phawb yn rhyfeddu am yr holl bethau a wnaethai'r Iesu, efe a ddywedodd wrth ei ddisgyblion,

44 [x] Gosodwch chwi yn eich clustiau yr ymadroddion hyn: canys Mab y dyn a draddodir i ddwylaw dynion.

x Mat. 17. 22.

45 [y] Eithr hwy ni wybuant y gair hwn, ac yr oedd yn guddiedig oddi wrthynt, fel na's deallent ef: ac yr oedd arnynt arswyd ymofyn ag ef am y gair hwn.

y Marc 9. 32. Pen. 2. 50. a 18. 34.

46 ¶ [z] A dadl a gyfododd yn eu plith, pwy a fyddai fwyaf o honynt.

z Mat. 18. 1. Marc 9. 34.

47 A'r Iesu, wrth weled meddwl eu calon hwynt, a gymmerth fachgennyn, ac a'i gosododd yn ei ymyl,

48 Ac a ddywedodd wrthynt, Pwy bynnag a dderbynio y bachgennyn hwn yn fy enw i, sydd yn fy nerbyn i; a phwy bynnag a'm derbynio i, sydd yn derbyn yr hwn a'm danfonodd i: canys yr hwn sydd leiaf yn eich plith chwi oll, hwnnw a fydd mawr.

49 ¶ [a] Ac Ioan a attebodd ac a ddywedodd, O Feistr, ni a welsom ryw un yn dy enw di yn bwrw allan gythreuliaid; ac a waharddasom iddo, am nad oedd yn canlyn gyd â ni.

a Marc 9. 38. Edrych Num. 11. 28.

50 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Na waherddwch *iddo*: canys [b] y neb nid yw i'n herbyn, trosom ni y mae.

b Mat. 12. 30. Pen. 11. 23.

51 ¶ A bu, pan gyflawnwyd [c] y dyddiau y cymmerid ef i fynu, yntau a § roddes ei fryd ar fyned i Jerusalem.

c Marc 16. 19. Act. 1. 2. § *osododd ei wyneb i fyned.*

52 Ac efe a ddanfonodd genhadau o flaen ei wyneb: a hwy wedi myned, a aethant i mewn i dref y Samariaid, i barottôi iddo ef.

53 Ac [d] ni's derbyniasant hwy ef, oblegid fod ei wyneb ef yn ‖ tueddu tua Jerusalem.

d Ioan 4. 4, 9. ‖ Gr. *myned.*

54 A'i ddisgyblion ef, Iago ac Ioan, pan welsant, a ddywedasant, Arglwydd, a fynni di ddywedyd o honom am ddyfod tân i lawr o'r nef, a'u difa hwynt, [e] megis y gwnaeth Elïas?

e 2 Bren. 1. 10, 12.

55 Ac efe a drodd, ac a'u ceryddodd hwynt; ac a ddywedodd, Ni wyddoch o ba yspryd yr ydych chwi.

56 Canys [f] ni ddaeth Mab y dyn i ddistrywio eneidiau dynion, ond *i'w* cadw. A hwy a aethant i dref arall.

f Ioan 3. 17. a 12. 47.

57 ¶ [g] A bu, a hwy yn myned, ddywedyd o ryw un ar y ffordd wrtho ef, Arglwydd, mi a'th ganlynaf i ba le bynnag yr elych.

g Mat. 8. 19.

58 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Y mae gan y llwynogod ffauau, a *chan* adar yr awyr nythod; ond gan Fab y dyn nid oes lle y rhoddo *ei* ben i lawr.

59 Ac [h] efe a ddywedodd wrth un arall, Dilyn fi. Ac yntau a ddywedodd, Arglwydd, gâd i mi yn gyntaf fyned a chladdu fy nhad.

h Mat. 8. 21.

60 Eithr yr Iesu a ddywedodd wrtho, Gâd i'r meirw gladdu eu meirw; ond dos di a phregetha deyrnas Duw.

61 Ac un arall hefyd a ddywedodd, [i] Mi a'th ddilynaf di, O Arglwydd; ond gâd i mi yn gyntaf ganu yn iach i'r rhai sy yn fy nhŷ.

i 1 Bren. 19. 20.

62 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Nid oes neb a'r sydd yn rhoi ei law ar yr aradr, ac yn edrych ar y pethau sydd o'i ol, yn gymmwys i deyrnas Duw.

## PEN. X.

*1 Crist yn anfon allan ar unwaith ddeg disgybl a thrugain i uncuthur gwirthiau, ac i bregethu; 17 yn eu rhybuddio hwy i fod yn ostyngedig, ac ym mha beth y gorfoleddent: 21 yn diolch i'w dad am ei ras: 23 yn mawrygu dedwydd gyflwr ei eglwys: 25 yn dysgu y cyfreithiwr y modd i gael bywyd tragywyddol, ac i gymmeryd pawb yn gymmydog iddo, a'r a fo ag eisiau ei drugaredd ef arno: 41 yn argyoeddi Martha, ac yn canmol Mair ei chwaer hi.*

32. WEDI'r pethau hyn, yr ordeiniodd yr
Arglwydd ddeg a thrugain eraill he-
fyd, ac a'u danfonodd hwynt bob yn ddau
o flaen ei wyneb i bob dinas a man lle 'r oedd
efe ar fedr dyfod.
2 Am hynny efe a ddywedodd wrthynt,
Y [a] cynhauaf yn wir *sydd* fawr, ond y
gweithwŷr yn anaml: [b] gweddïwch gan
hynny ar Arglwydd y cynhauaf, am ddan-
fon allan weithwŷr i'w gynhauaf.
3 Ewch: [c] wele, yr wyf fi yn eich danfon
chwi fel ŵyn ym mysg bleiddiaid.
4 [d] Na ddygwch god, nac ysgrepan, nac
esgidiau; ac [e] na chyfarchwch well i neb ar
y ffordd.
5 [f] Ac i ba dŷ bynnag yr eloch i mewn,
yn gyntaf dywedwch, Tangnefedd i'r tŷ
hwn.
6 Ac o bydd yno fab tangnefedd, eich
tangnefedd a orphwys arno: os amgen, hi a
ddychwel attoch chwi.
7 [g] Ac yn y tŷ hwnnw arhoswch, gan
fwytta ac yfed y cyfryw bethau ag *a gaffoch*
ganddynt: canys [h] teilwng yw i'r gweithiwr
ei gyflog. Na threiglwch o dŷ i dŷ.
8 A pha ddinas bynnag yr eloch iddi, a
hwy yn eich derbyn, bwyttêwch y cyfryw
bethau ag a rodder ger eich bronnau:
9 Ac iachêwch y cleifion a fyddo ynddi,
a dywedwch wrthynt, [i] Daeth teyrnas Dduw
yn agos attoch.
10 Eithr pa ddinas bynnag yr eloch iddi,
a hwy heb eich derbyn, ewch allan i'w
heolydd, a dywedwch,
11 [k] Hyd yn oed y llwch, yr hwn a ly-
nodd wrthym o'ch dinas, yr ydym yn ei
sychu ymaith † i chwi: er hynny gwy-
byddwch hyn, fod teyrnas Dduw wedi ne-
sâu attoch.
12 Eithr dywedaf wrthych, mai esmwyth-
ach fydd i Sodom yn y dydd hwnnw, nag
i'r ddinas honno.
13 [l] Gwae di, Chorazin; gwae di, Beth-
saida: canys pe gwnaethid yn Tyrus a Si-
don ‡ y gweithredoedd nerthol a wnaeth-
pwyd yn eich plith chwi, hwy a edifarha-
sent er ys talm, gan eistedd mewn sachliain
a lludw.
14 Eithr esmwythach fydd i Tyrus a Si-
don yn y farn, nag i chwi.
15 A thithau, Capernaum, yr hon a
ddyrchafwyd hyd y nef, a dynnir i lawr
hyd yn uffern.
16 [m] Y neb sydd yn eich gwrando chwi,
sydd yn fy ngwrando i; [n] a'r neb sydd yn
eich dirmygu chwi, sydd yn fy nirmygu i;
a'r neb sydd yn fy nirmygu i, sydd yn dir-
mygu yr hwn a'm hanfonodd i.
17 ¶ A'r deg a thrugain a ddychwelasant
gyd â llawenydd, gan ddywedyd, Arglwydd,
hyd yn oed y cythreuliaid a ddarostyngir i
ni, yn dy enw di.
18 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Mi a

[a] Mat. 9. 37. Ioan 4. 35.
[b] 2 Thess. 3. 1.
[c] Mat. 10. 16.
[d] Mat. 10. 9, 10. Marc 6. 8.
[e] 2 Bren. 4. 29.
[f] Mat. 10. 11.
[g] 1 Cor. 10. 27.
[h] 1 Cor. 9. 4, &c. 1 Tim. 5. 18.
[i] Mat. 3. 2. a 4. 17.
[k] Mat. 10. 14. Pen. 9. 5. Act. 13. 51. a 18. 6.
† *yn eich erbyn chwi*; fel Pen. 9. 5.
[l] Mat. 11. 21.
‡ *y nerthoedd.*
[m] Mat. 10. 40. Ioan 13. 20.
[n] 1 Thess. 4. 8.

welais Satan megis mellten, yn syrthio o'r
nef.
19 Wele, [o] yr ydwyf fi yn rhoddi i chwi
awdurdod i sathru ar seirph, ac ysgor-
pionau, ac ar holl gryfder y gelyn; ac nid
oes dim a wna ddim niweid i chwi.
20 Eithr yn hyn na lawenhêwch, fod yr
ysprydion wedi eu darostwng i chwi; ond
llawenhêwch yn hytrach, am fod [p] eich en-
wau yn ysgrifenedig yn y nefoedd.
21 ¶ [q] Yr awr honno yr Iesu a lawen-
ychodd yn yr yspryd, ac a ddywedodd, Yr
wyf yn diolch i ti, O Dad, Arglwydd nef a
daear, am guddio o honot y pethau hyn
oddi wrth y doethion a'r deallus, a'u dat-
guddio o honot i rai bychain: yn wir, O
Dad, oblegid felly § y gwelid yn dda yn dy
olwg di.
22 [r] ‖ Pob peth a roddwyd i mi gan fy
Nhad: ac [s] ni ŵyr neb pwy yw 'r Mab, ond
y Tad; na phwy yw'r Tad, ond y Mab,
a'r neb y mynno'r Mab *ei* ddatguddio
iddo.
23 ¶ Ac efe a drodd at *ei* ddisgyblion,
ac a ddywedodd o'r neilldu, [t] Gwŷn fyd
y llygaid sy'n gweled y pethau yr ydych
chwi yn eu gweled.
24 Canys yr wyf yn dywedyd i chwi,
[u] ewyllysio o lawer o brophwydi a bren-
hinoedd weled y pethau yr ydych chwi yn
eu gweled, ac ni's gwelsant; a chlywed
y pethau yr ydych chwi yn eu clywed, ac
ni's clywsant.
25 ¶ Ac wele, rhyw gyfreithiwr a gododd,
gan ei demtio ef, a dywedyd, [x] Athraw, pa
beth a wnaf i gael etifeddu bywyd tragy-
wyddol?
26 Yntau a ddywedodd wrtho, Pa beth
sydd ysgrifenedig yn y gyfraith? pa fodd y
darlleni?
27 Ac efe gan atteb a ddywedodd, [y] Ti
a geri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl ga-
lon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl nerth, ac
â'th holl feddwl; [z] a'th gymmydog fel ti dy
hun.
28 Yntau a ddywedodd wrtho, Ti a
attebaist yn uniawn: gwna hyn, a [a] byw
fyddi.
29 Eithr efe, yn ewyllysio ei gyfiawnhâu
ei hun, a ddywedodd wrth yr Iesu, A phwy
yw fy nghymmydog?
30 A'r Iesu gan atteb a ddywedodd, Rhyw
ddyn oedd yn myned i wared o Jerusalem i
Jericho; ac a syrthiodd ym mysg lladron, y
rhai wedi ei ddiosg ef, a'i archolli, a aethant
ymaith, gan *ei* adael yn hanner marw.
31 Ac ar ddamwain rhyw offeiriad a dda-
eth i wared y ffordd honno: a phan ei gwe-
lodd, [b] efe a aeth o'r tu arall heibio.
32 A'r un ffunud Lefiad hefyd, wedi dy-
fod i'r fan, a'i weled *ef*, a aeth o'r tu arall
heibio.
33 Eithr rhyw Samariad, wrth ymdaith,
a ddaeth atto ef: a phan ei gwelodd, a dos-
turiodd,
34 Ac a aeth atto, ac a rwymodd ei
archollion ef, gan dywallt ynddynt olew a
gwin; ac a'i gosododd ef ar ei anifail ei
hun, ac a'i dug ef i'r lletty, ac a'i hym-
geleddodd.
35 A thrannoeth wrth fyned ymaith, efe
a dynnodd allan ddwy geiniog, ac a'u rhod-
des i'r llettywr, ac a ddywedodd wrtho,
Cymmer ofal drosto: a pha beth bynnag a
dreuliech yn ychwaneg, pan ddelwyf dra-
chefn, mi a'i talaf i ti.

[o] Marc 16. 18. Act. 28. 5.
[p] Exod. 32. 32. Psal. 69. 28. Esay 4. 3. Dan. 12. 1. Phil. 4. 3. Heb. 12. 23. Dat. 13. 8. a 20. 12. a 21. 27.
[q] Mat. 11. 25.
§ Gr. *yr oedd boddlonrwydd.*
[r] Mat. 28. 18. Ioan 3. 35. a 17. 2.
‖ Amryw hen gopiau a anghwanegant y geiriau hyn, *A chan droi at ei ddisgyblion, efe a ddywedodd.*
[s] Ioan 1. 18. a 6. 44, 46.
[t] Mat. 13. 16.
[u] 1 Petr 1. 10.
[x] Mat. 19. 16. a 22. 35.
[y] Deut. 6. 5.
[z] Lef. 19. 18.
[a] Lef. 18. 5. Ezec. 20. 11, 13, 21.
[b] Psal. 38. 11.

36 Pwy gan hynny o'r tri hyn, yr ydwyt
ti yn tybied ei fod yn gymmydog i'r hwn a
syrthiasai ym mhlith y lladron?
37 Ac efe a ddywedodd, Yr hwn a
wnaeth drugaredd ag ef. A'r Iesu am
hynny a ddywedodd wrtho, Dos, a gwna
dithau yr un modd.
38 ¶ A bu, a hwy yn ymdeithio, ddyfod
o hono i ryw dref: a rhyw wraig a'i henw
c Ioan 11. 1. a 12. 2, 3. c Martha a'i derbyniodd ef i'w thŷ.
39 Ac i hon yr oedd chwaer a elwid
d 1 Cor. 7. 32, &c. Mair, d yr hon hefyd e a eisteddodd wrth
e Act. 22. 3. draed yr Iesu, ac a wrandawodd ar ei ymad-
rodd ef.
40 Ond Martha oedd drafferthus yng-
hylch llawer o wasanaeth: a chan sefyll ger
llaw, hi a ddywedodd, Arglwydd, onid oes
ofal gennyt am i'm chwaer fy ngadael i fy
hun i wasanaethu? dywaid wrthi gan hynny
am fy helpio.
41 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrthi, Martha, Martha, gofalus a thra-
fferthus wyt ynghylch llawer o bethau:
f Psal. 27. 4. 42 Eithr f un peth sydd angenrheidiol.
A Mair a ddewisodd y rhan dda, yr hon ni
ddygir oddi arni.

## PEN. XI.

*1 Crist yn dysgu gweddïo, a hynny heb ddi-ffygio: 11 gan sicrhâu y rhydd Duw felly i ni bethau da. 14 Wrth fwrw allan gythraul mud, y mae efe yn ceryddu 'r Phariseaid cablaidd: 28 ac yn dangos pwy sydd fendigedig: 29 ac yn pregethu i'r bobl; 37 ac yn argyoeddi ffug sancteiddrwydd y Phariseaid, a'r ysgrifenyddion, a'r cyfreithwŷr.*

33. A Bu, ac efe mewn rhyw fan yn gweddïo,
pan beidiodd, ddywedyd o un o'i ddis-
gyblion wrtho, Arglwydd, dysg i ni weddïo,
megis ag y dysgodd Ioan i'w ddisgyblion.
a Mat. 6. 9. 2 Ac efe a ddywedodd wrthynt, a Pan
weddïoch, dywedwch, Ein Tad yr hwn
wyt yn y nefoedd, Sancteiddier dy enw.
Deued dy deyrnas. Gwneler dy ewyllys,
megis yn y nef, felly ar y ddaear hefyd.
† Neu, tros y diwrnod. 3 Dyro i ni † o ddydd i ddydd ein bara
beunyddiol.
4 A maddeu i ni ein pechodau: canys yr
ydym ninnau yn maddeu i bawb sy yn ein
dyled. Ac nac arwain ni i brofedigaeth;
eithr gwared ni rhag drwg.
5 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pwy o
honoch fydd iddo gyfaill, ac a â atto hanner
nos, ac a ddywaid wrtho, O gyfaill, moes i
mi dair torth yn echwyn:
‡ allan o'i ffordd. 6 Canys cyfaill i mi a ddaeth attaf ‡ wrth
ymdaith, ac nid oes gennyf ddim i'w ddodi
ger ei fron ef:
7 Ac yntau oddi mewn a ettyb ac a ddy-
waid, Na flina fi: yn awr y mae 'r drws yn
gauad, a'm plant gyd â mi yn y gwely; ni
allaf godi a rhoddi i ti?
b Pen. 18. 1, &c. 8 Yr wyf yn dywedyd i chwi, b Er na
chyfyd efe a rhoddi iddo, am ei fod yn gyf-
aill iddo; etto o herwydd ei daerni, efe a
gyfyd ac a rydd iddo gynnifer ag y sydd
arno eu heisiau.
c Mat. 7. 7. a 21. 22. Marc 11. 24. Ioan 15. 7. Iago 1. 6. 1 Ioan 3. 22. &c. 9 c Ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi,
Gofynwch, a rhoddir i chwi; ceisiwch,
a chwi a gewch; curwch, ac fe a agorir i
chwi.
10 Canys pob un sydd yn gofyn, sydd
yn derbyn; a'r neb sydd yn ceisio, sydd
yn cael; ac i'r hwn sydd yn curo, yr
agorir.

11 d Os bara a ofyn mab i un o honoch d Mat. 7. 9.
chwi sy dad, a ddyry efe garreg iddo? ac
os pysgodyn, a ddyry efe iddo sarph yn lle
pysgodyn?
12 Neu os gofyn efe wy, a § ddyry efe § gynnyg.
'sgorpion iddo?
13 Os chwychwi gan hynny, y rhai yd-
ych ddrwg, a fedrwch roi rhoddion da i'ch
plant chwi; pa faint mwy y rhydd *eich* Tad
o'r nef yr Yspryd Glân i'r rhai a ofyno
ganddo?
14 ¶ e Ac yr oedd efe yn bwrw allan e Mat. 9. 32. a 12. 22.
gythraul, a hwnnw oedd fud. A bu, wedi
i'r cythraul fyned allan, i'r mudan lefaru;
a'r bobloedd a ryfeddasant.
15 Eithr rhai o honynt a ddywedasant,
f Trwy ‖ Beelzebub, pennaeth y cythreul- f Mat. 9. 34. a 12. 24.
iaid, y mae efe yn bwrw allan gythreul- ‖ Gr. *Beelzebul:*
iaid.
16 Ac eraill, gan *ei* demtio, g a geisiasant ac felly adn. 18, 19.
ganddo arwydd o'r nef.
17 h Yntau, i yn gwybod eu meddyliau g Mat. 12. 38. a 16. 1.
hwynt, a ddywedodd wrthynt, Pob teyrnas
wedi ymrannu yn ei herbyn ei hun, a an- h Mat. 12. 25.
ghyfanneddir; a thŷ yn erbyn tŷ, a syrth.
18 Ac os Satan hefyd sydd wedi ymran- Marc 3. 24.
nu yn ei erbyn ei hun, pa fodd y saif ei i Ioan 2. 25.
deyrnas ef? gan eich bod yn dywedyd, mai
trwy Beelzebub yr wyf fi yn bwrw allan
gythreuliaid.
19 Ac os trwy Beelzebub yr wyf fi yn
bwrw allan gythreuliaid, trwy bwy y mae
eich plant chwi yn eu bwrw hwynt allan?
am hynny y byddant hwy yn farnwŷr ar-
noch chwi.
20 Eithr os myfi † trwy fys Duw ydwyf † Exod. 8. 19.
yn bwrw allan gythreuliaid, diammeu ddy-
fod teyrnas Dduw attoch chwi.
21 k Pan fyddo un cryf arfog yn cadw ei k Mat. 12. 29.
neuadd, y mae yr hyn sydd ganddo mewn
heddwch:
22 Ond l pan ddêl un cryfach nag ef arno, l Esay 53. 12.
a'i orchfygu, efe a ddwg ymaith ei holl Col. 2. 15.
arfogaeth ef yn yr hon yr oedd yn ymddir-
ied, ac a ran ei anrhaith ef.
23 m Y neb nid yw gyd â mi, sydd yn fy m Mat. 12. 30.
erbyn: a'r neb nid yw yn casglu gyd â mi,
sydd yn gwasgaru.
24 n Pan êl yr yspryd aflan allan o ddyn, n Mat. 12. 43.
efe a rodia mewn lleoedd sychion, gan geisio
gorphwysdra: a phryd na chaffo, efe a ddy-
waid, Mi a ddychwelaf i'm tŷ o'r lle y daeth-
um allan.
25 A phan ddêl, y mae yn *ei* gael wedi
*ei* ysgubo a'i drefnu.
26 Yna yr â efe, ac y cymmer atto saith
yspryd eraill gwaeth nâg ef ei hun; a
hwy a ant i mewn, ac a arhosant yno: a
o diwedd y dyn hwnnw fydd gwaeth nâ'i o Ioan 6. 14.
ddechreuad. Heb. 5. 4.
27 ¶ A bu, fel yr oedd efe yn dywed- a 10. 26.
yd hyn, rhyw wraig o'r dyrfa a gododd 2 Petr 2. 20.
ei llef, ac a ddywedodd wrtho, Gwŷn
fyd y groth a'th ddug di, a'r bronnau a
sugnaist.
28 Ond efe a ddywedodd, p Yn hytrach p Mat. 7. 21.
gwŷn fyd y rhai sydd yn gwrando gair Duw,
ac yn ei gadw.
29 ¶ q Ac wedi i'r bobloedd ymdyrru q Mat. 12. 38.
ynghŷd, efe a ddechreuodd ddywedyd, Y
genhedlaeth hon sydd ddrwg: y mae hi yn
ceisio arwydd; ac arwydd ni roddir iddi,
ond arwydd Jonas y prophwyd.
30 Canys fel y bu r Jonas yn arwydd i'r r Ioan 1.
Ninifeaid, felly y bydd Mab y dyn hefyd 17. a 2. 10.
i'r genhedlaeth hon.

s 1 Bren. 10. 1. — 31 s Brenhines y dehau a gyfyd yn y farn gyd â gwŷr y genhedlaeth hon, ac a'u condemnia hwynt: am iddi hi ddyfod o eithafoedd y ddaear i wrando doethineb Salomon; ac wele, un mwy nâ Salomon yma.

t Ioan 3. 5. — 32 Gwŷr Ninefe a godant i fynu yn y farn gyd â'r genhedlaeth hon, ac a'i condemniant hi: am t iddynt edifarhâu wrth bregeth Jonas: ac wele, un mwy nâ Jonas yma.

u Mat. 5. 15. Marc 4. 21. Pen. 8. 16. — 33 u Ac nid yw neb wedi goleu canwyll, yn ei gosod mewn lle dirgel, na than lestr; eithr ar ganhwyllbren, fel y gallo y rhai a ddelo i mewn weled y goleuni.

x Mat. 6. 22. — 34 x Canwyll y corph yw'r llygad: am hynny pan fyddo dy lygad yn syml, dy holl gorph hefyd fydd oleu; ond pan fyddo *dy lygad* yn ddrwg, dy gorph hefyd fydd tywyll.

35 Edrych am hynny rhag i'r goleuni sydd ynot fod yn dywyllwch.

36 Os dy holl gorph gan hynny *sydd* oleu, heb un rhan dywyll ynddo, hyed y cwbl yn oleu, megis pan fo canwyll â'i llewyrch yn dy oleuo di.

37 ¶ Ac fel yr oedd efe yn llefaru, rhyw Pharisead a ddymunodd arno giniawa gyd ag ef. Ac wedi iddo ddyfod i mewn, efe a eisteddodd i fwyta.

y Marc 7. 3. — 38 y A'r Pharisead pan welodd, a ryfeddodd nad ymolchasai efe yn gyntaf o flaen ciniaw.

z Mat. 23. 25. — 39 z A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Yn awr chwychwi'r Phariseaid ydych yn glanhâu y tu allan i'r cwppan a'r ddysgl;

a Tit. 1. 15. — ond a eich tu mewn sydd yn llawn o drais a drygioni.

40 O ynfydion, onid yr hwn a wnaeth yr hyn sydd oddi allan, a wnaeth yr hyn sydd o fewn hefyd?

b Esay 58. 7. Dan. 4. 27. Pen. 12. 33. † *neu, o'r hyn a allwch.* — 41 b Yn hytrach rhoddwch elusen † o'r pethau sy gennych: ac wele, pob peth sydd lân i chwi.

c Mat. 23. 23. — 42 c Eithr gwae chwi'r Phariseaid: canys yr ydych chwi yn degymmu y mintys, a'r rhyw, a phob llysieuyn, ac yn myned heibio i farn a chariad Duw. Y pethau hyn oedd raid eu gwneuthur, ac na adewid y lleill heb wneuthur.

d Mat. 23. 6. Marc 12. 38, 39. — 43 d Gwae chwi'r Phariseaid; canys yr ydych yn caru y prif-gadeiriau yn y synagogau, a chyfarch yn y marchnadoedd.

e Mat. 23. 27. — 44 e Gwae chwi, ysgrifenyddion a Phariseaid, rhagrithwŷr; am eich bod fel beddau anamlwg, a'r dynion a rodiant *arnynt* heb wybod *oddi wrthynt.*

45 ¶ Ac un o'r cyfreithwŷr a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Athraw, wrth ddywedyd hyn, yr wyt ti yn ein gwaradwyddo ninnau hefyd.

f Mat. 23. 4. — 46 f Yntau a ddywedodd, Gwae chwithau hefyd, y cyfreithwyr: canys yr ydych yn llwytho dynion â beichiau anhawdd eu dwyn, a chwi nid ydych yn cyffwrdd â'r beichiau ag un o'ch bysedd.

g Mat. 23. 29. — 47 g Gwae chwychwi; canys yr ydych yn adeiladu beddau'r prophwydi, a'ch tadau chwi a'u lladdodd hwynt.

48 Yn wir yr ydych yn tystiolaethu, ac yn gyd foddlon i weithredoedd eich tadau: canys hwynt hwy yn wir a'u lladdasant hwy, a chwithau ydych yn adeiladu eu beddau hwynt.

h Mat. 23. 34 — 49 Am hynny hefyd y dywedodd doethineb Duw, h Anfonaf attynt brophwydi ac apostolion, a *rhai* o honynt a laddant ac a erlidiant.

50 Fel y gofynner i'r genhedlaeth hon waed yr holl brophwydi, yr hwn a dywalltwyd o ddechreuad y byd,

51 i O waed Abel hyd k waed Zacharias, yr hwn a laddwyd rhwng yr allor a'r deml: diau meddaf i chwi, Gofynir ef i'r genhedlaeth hon. — i Gen. 4. 8. k 2 Chron. 24. 20, 21.

52 l Gwae chwychwi, y cyfreithwŷr: canys chwi a ddygasoch ymaith agoriad y gwybodaeth: nid aethoch i mewn eich hunain, a'r rhai oedd yn myned i *mewn* a ‡ waharddasoch chwi. — l Mat. 23 13. ‡ *Neu, rwystrasoch*

53 Ac fel yr oedd efe yn dywedyd y pethau hyn wrthynt, y dechreuodd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid fod yn daer iawn *arno*, a'i annog i ymadrodd am lawer o bethau:

54 Gan ei gynllwyn ef, a cheisio hela rhyw beth o'i ben ef, i gael achwyn arno.

## PEN. XII.

1 *Crist yn pregethu i'w ddisgyblion am ochel rhagrith, ac ofn wrth ddwyn ei athrawiaeth ef: 13 yn rhybuddio rhai i ochelyd cybydd-dra, trwy ddammeg y gwr goludog a adeiladodd ysguboriau mwy. 22 Ni wasanaetha i ni fod yn rhy ofalus am bethau bydol; 31 ond ceisio teyrnas Duw, 33 a rhoddi elusen, 36 a bod yn barod i agoryd i'n Harglwydd pan guro, pa bryd bynnag y delo. 41 Y dylai gweinidogion Crist edrych ar eu siars, 49 a disgwyl am erlid. 54 Rhaid i'r bobl adnabod yr amser hwn o ras, 58 oblegid peth ofnadwy yw marw heb gymmodi.*

YN a y cyfamser, wedi i † fyrddiwn o bobl ymgasglu ynghŷd, hyd oni ymsathrai y naill y llall, efe a ddechreuodd ddywedyd wrth ei ddisgyblion, Yn gyntaf, gwyliwch arnoch rhag surdoes y Phariseaid, yr hwn yw rhagrith. — 33. a Mat. 16. 6. Marc 8. 16. † *aneirif.*

2 b Canys nid oes dim cuddiedig, a'r na's datguddir; na dirgel, a'r ni's gwybyddir. — b Mat. 10. 26. Marc 4. 22. Pen. 8. 17.

3 Am hynny pa bethau bynnag a ddywedasoch yn y tywyllwch, a glywir yn y goleu; a'r peth a ddywedasoch yn y glust mewn ystafelloedd, a bregethir ar bennau tai.

4 c Ac yr wyf yn dywedyd wrthych, d fy nghyfeillion, Nac ofnwch y rhai sy yn lladd y corph, ac wedi hynny heb ganddynt ddim mwy i'w wneuthur. — c Mat. 10. 28. d Ioan 15. 14, 15.

5 Ond rhag-ddangosaf i chwi pwy a ofnwch: Ofnwch yr hwn, wedi y darffo iddo ladd, sydd ag awdurdod ganddo i fwrw i uffern; ie, meddaf i chwi, Hwnnw a ofnwch.

6 Oni werthir pump o adar y to er dwy ffyrling, ac nid oes un o honynt mewn anghof ger bron Duw?

7 Ond y mae hyd yn oed blew eich pennau chwi yn gyfrifedig oll. Am hynny nac ofnwch: yr ydych chwi yn well nâ llawer o adar y to.

8 e Ac meddaf i chwi, Pwy bynnag a'm haddefo i ger bron dynion, Mab y dyn hefyd a'i haddef yntau ger bron angylion Duw. — e Mat. 10. 32. Marc 8. 38. 2 Tim. 2. 12.

9 A'r hwn a'm gwado i ger bron dynion, a wedir ger bron angylion Duw.

10 f A phwy bynnag a ddywedo air yn erbyn Mab y dyn, fe a faddeuir iddo: eithr i'r neb a gablo yn erbyn yr Yspryd Glân, ni faddeuir. — f Mat. 12. 31, 32. Marc 3. 28. 1 Ioan 5. 16.

11 g A phan y'ch dygant i'r synagogau, ac *at* y llywiawdwyr, a'r awdurdodau, na ofelwch pa fodd, neu pa beth a attebwch, neu beth a ddywedoch: — g Mat. 10. 19. Marc 13. 11. Pen. 21. 14.

12 Canys yr Yspryd Glân a ddysg i chwi
yn yr awr honno beth sydd raid ei ddywe-
dyd.

13 ¶ A rhyw un o'r dyrfa a ddywedodd
wrtho, Athraw, dywaid wrth fy mrawd am
rannu â myfi 'r etifeddiaeth.

14 Yntau a ddywedodd wrtho, Y dyn,
pwy a'm gosododd i yn farnwr, neu yn
rhannwr arnoch chwi?

h 1 Tim. 6. 15 Ac efe a ddywedodd wrthynt, [h] Edrych-
7, &c. wch, ac ymogelwch rhag cybydd-dod: ca-
nys nid yw bywyd neb yn sefyll ar amlder
y pethau sydd ganddo.

16 ¶ Ac efe a draethodd wrthynt ddam-
meg, gan ddywedyd, Tir rhyw wr goludog a
gnydiodd yn dda.

17 Ac efe a ymresymmodd ynddo ei hun,
gan ddywedyd, Beth a wnaf, am nad oes
gennyf le i gasglu fy ffrwythau iddo?

18 Ac efe a ddywedodd, Hyn a wnaf:
Mi a dynnaf i lawr fy ysguboriau, ac a
adeiladaf rai mwy; ac yno y casglaf fy holl
ffrwythau, a'm da.

i Preg. 11. 19 A dywedaf wrth fy enaid, [i] Fy enaid,
9. y mae gennyt dda lawer wedi eu rhoi i
Eccl. 11. 19. gadw dros lawer o flynyddoedd: gorphwys,
1 Cor. 15. bwytta, yf, bydd lawen.
32.
Iago 5. 5. 20 Eithr Duw a ddywedodd wrtho, O
k Job 20. ynfyd, y nos hon [k] y † gofynant dy enaid
22. a 27. 8. oddi wrthyt; [l] ac eiddo pwy fydd y pethau
Psal. 52. 7. a barottoaist?
† gofynir.
l Psal. 39. 21 Felly y mae 'r hwn sydd yn trysori
6. iddo ei hun, ac nid yw [m] gyfoethog tu ag at
Jer. 17. 11. Dduw.
m Mat. 6. 22 ¶ Ac efe a ddywedodd wrth ei ddis-
20. gyblion, Am hyn yr wyf yn dywedyd
Adn. 33. wrthych, [n] Na chymmerwch ofal am eich
1 Tim. 6. bywyd, beth a fwyttaoch; nac am eich
18, 19. corph, beth a wisgoch.
Iago 2. 5.
n Mat. 6. 23 Y mae'r bywyd yn fwy nâ 'r ymborth,
25. a'r corph *yn fwy* nâ 'r dillad.

24 Ystyriwch y brain: canys nid ydynt
yn hau, nac yn medi; i'r rhai nid oes gell,
o Job 38. nac ysgubor: ac y mae [o] Duw yn eu porthi
41. hwynt: O ba faint mwy yr ydych chwi yn
Psal. 147. well nâ 'r adar?
9.

25 A phwy o honoch, gan gymmeryd go-
fal, a ddichon ychwanegu un cufydd at ei
faintioli?

26 Am hynny, oni ellwch wneuthur y
peth lleiaf, paham yr ydych yn cymmeryd
gofal am y lleill?

27 Ystyriwch y lili, pa fodd y maent yn
tyfu; Nid ydynt yn llafurio, nac yn nyddu;
ac yr wyf yn dywedyd i chwi, na wisgwyd
Salomon yn ei holl ogoniant fel un o'r rhai
hyn.

28 Ac os yw Duw felly yn dilladu y
llysieuyn, yr hwn sydd heddyw yn y maes,
ac y foru a deflir i'r ffwrn; pa faint mwy
*y dillada efe* chwychwi, O rai o ychydig
ffydd?

29 Chwithau na cheisiwch beth a fwyt-
taoch, neu pa beth a yfoch; ac na fyddwch
amheuus.

30 Canys y pethau hyn oll y mae cen-
hedloedd y byd yn eu hargeisio: ac y mae
eich Tad chwi yn gwybod fod arnoch chwi
eisiau 'r pethau hyn.

p Mat. 6. 31 ¶ [p] Yn hytrach ceisiwch deyrnas
33. Dduw, a'r pethau hyn oll a roddir i chwi
q Mat. 11. yn ychwaneg.
25, 26. 32 Nac ofna, braidd bychan: canys
r Mat. 19. [q] rhyngodd bodd i'ch Tad roddi i chwi y
21. deyrnas.
Act. 2. 45.
a 4. 34. 33 [r] Gwerthwch yr hyn sydd gennych, a
rhoddwch elusen: [s] gwnewch i chwi byrsau s Mat. 6.
y rhai ni heneiddiant; trysor yn y nef- 20.
oedd, yr hwn ni dderfydd, lle ni ddaw Pen. 16. 9.
lleidr yn agos, ac ni lygra pryf. 1 Tim. 6.
19.

34 Canys lle y mae eich trysor chwi, yno
y bydd eich calon hefyd.

35 [t] Bydded eich lwynau wedi eu hym- t Eph. 6. 14.
wregysu, a'ch [u] canhwyllau ‡ wedi eu 1 Pet. 1.
goleu: 13.
u Mat. 25.
36 A chwithau yn debyg i ddynion yn 1.
disgwyl eu Harglwydd, pa bryd y dychwel ‡ *yn llosgi.*
o'r neithior; fel pan ddelo a churo, yr ago-
ront iddo yn ebrwydd.

37 Gwyn eu byd y gweision hynny, y
rhai a gaiff eu Harglwydd, pan ddel, yn
neffro: yn wir meddaf i chwi, Efe a ymwre-
gysa, ac a wna iddynt eistedd i lawr i fwyt-
ta, ac a ddaw ac a wasanaetha arnynt hwy.

38 Ac os daw efe ar yr ail wyliadwriaeth,
ac *os* ar y drydedd wyliadwriaeth y daw, a'u
cael *hwynt* felly, gwyn eu byd y gweision
hynny.

39 [x] A hyn gwybyddwch, pe gwybu- x Mat. 24.
asai gwr y tŷ pa awr y deuai'r lleidr, 43.
efe a wyliasai, ac ni adawsai gloddio ei dŷ 1 Thess. 5.
trwodd. 2.
2 Petr 3.
40 [y] A chwithau gan hynny, byddwch 10.
barod: canys yr awr ni thybioch, y daw Dat. 3. 3.
Mab y dyn. a 16. 15.
y Mat. 24.
41 ¶ A Phetr a ddywedodd wrtho, Ar- 44. a 25. 13.
glwydd, a'i wrthym ni yr wyt ti yn dy- Marc 13.
wedyd y ddammeg hon, ai wrth bawb 33.
hefyd? Pen. 21. 34.
1 Thess. 5.
42 A'r Arglwydd a ddywedodd, [z] Pwy 6.
yw y goruchwyliwr ffyddlawn, a phwyllog, z Mat. 24.
yr hwn a esyd *ei* Arglwydd ar ei deulu, i 45. a 25. 21.
roddi cyfluniaeth *iddynt* mewn pryd? 1 Cor. 4. 2.

43 Gwyn ei fyd y gwas hwnnw, yr hwn
y caiff ei Arglwydd ef, pan ddêl, yn gwneu-
thur felly.

44 Yn wir meddaf i chwi, Efe a'i gesyd
ef *yn llywodraethwr* ar gwbl a'r y sydd
eiddo.

45 Eithr os dywaid y gwas hwnnw yn ei
galon, Y mae fy Arglwydd yn oedi dyfod;
a dechreu curo y gweision a'r morwynion, a
bwytta ac yfed, a meddwi:

46 Daw Arglwydd y gwas hwnnw mewn
dydd nad yw efe yn disgwyl, ac ar awr
nad yw efe yn gwybod, ac a'i § gwahana § *tor ef*
ef, ac a esyd ei ran ef gyd â'r anffydd- *ymaith.*
loniaid.

47 [a] A'r gwas hwnnw yr hwn a wybu a Num. 15.
ewyllys ei Arglwydd, ac nid ymbarottôdd, 30.
ac ni wnaeth yn ôl ei ewyllys ef, a gurir â Iago 4. 17
llawer *ffonnod.*

48 Eithr yr hwn ni wybu, ac a wnaeth
bethau yn haeddu ffonnodiau, a gurir ag
ychydig *ffonnodiau.* Ac i bwy bynnag y
rhoddwyd llawer, llawer a ofynir ganddo;
a chyd â'r neb y gadawsant lawer, ychwa-
neg a ofynant ganddo.

49 ¶ Mi a ddaethum i fwrw tân ar y
ddaear; a pheth a fynnaf os cynneuwyd
ef eisoes?

50 Eithr [b] y mae gennyf fedydd i'm be- b Mat. 20.
dyddio ag ef, ac mor ‖ gyfyng yw arnaf hyd 22.
oni orphener! ‖ *ofidus.*

51 [c] Ydych chwi yn tybied mai hedd- c Mat. 10.
wch y daethum i i'w roddi ar y ddaear? 34.
nag ê, meddaf i chwi; [d] ond yn hytrach d Michah 7
† ymrafael. 6.
Ioan 7. 43.
52 Canys bydd o hyn allan bump yn yr a 9. 16. a
un tŷ wedi ymrannu, tri yn erbyn dau, a 10. 19.
dau yn erbyn tri. † *ymbleid-*
*io*
53 Y tad a ymranna yn erbyn y mab, a'r

mab yn erbyn y tad; y fam yn erbyn y
ferch, a'r ferch yn erbyn y fam; y chwegr
yn erbyn ei gwaudd, a'r waudd yn erbyn ei
chwegr.
54 ¶ Ac efe a ddywedodd hefyd wrth
e Mat. 16. 2. y bobloedd, e Pan weloch gwmmwl yn
codi o'r gorllewin, yn y fan y dywed-
wch, Y mae cawod yn dyfod: ac felly
y mae.
55 A phan *weloch* y deheu-wynt yn
chwythu, y dywedwch, Y bydd gwres: ac
fe fydd.
56 O ragrithwŷr, chwi a fedrwch dde-
all wynebpryd y ddaear a'r wybr: ond yr
amser hwn, pa fodd nad ydych yn ei dde-
all?
57 A phaham nad ydych, ie, o honoch
eich hunain, yn barnu yr hyn sydd gyf-
iawn?
f Diar. 25. 8. Mat. 5. 25. 58 ¶ f Canys tra fyddech yn myned
gyd â'th wrthwynebwr at lywodraethwr,
g Edrych Psal. 32. 6. Esay 55. 6. gwna dy oreu g ar y ffordd i gael myned
yn rhydd oddi wrtho; rhag iddo dy ddwyn
at y barnwr, ac i'r barnwr dy roddi at y
swyddog, ac i'r swyddog dy daflu ynghar-
char.
h Edrych Marc 12. 42. 59 Yr wyf yn dywedyd i ti, Nad ai di
ddim oddi yno, hyd oni thelych, ie'r
h hatling eithaf.

## PEN. XIII.

1 *Crist yn pregethu edifeirwch, wrth gospedigaeth y Galileaid, ac eraill.* 6 *Y ffigysbren diffrwyth ni chaiff sefyll.* 11 *Crist yn iachâu y wraig oedd wedi crymmu:* 18 *yn dangos galluog weithrediad y gair ynghalonnau ei etholedigion, trwy ddammeg y gronyn mwstard, a'r surdoes:* 24 *yn annog i fyned i mewn i'r porth cyfyng;* 31 *ac yn argyoeddi Herod, a Jerusalem.*

33. AC yr oedd yn bresennol y cyfamser
hwnnw, rai yn mynegi iddo am y
Galileaid, y rhai y cymmysgasai Pilat eu
gwaed ynghŷd â'u haberthau.
2 A'r Iesu gan atteb a ddywedodd wrth-
ynt, Ydych chwi yn tybied fod y Gali-
leaid hyn yn bechaduriaid mwy na'r holl
Galileaid, am iddynt ddioddef y cyfryw
bethau?
3 Nac oeddynt, meddaf i chwi: eithr,
onid edifarhêwch, chwi a ddifethir oll yn yr
un modd.
4 Neu'r deunaw hynny ar y rhai y
syrthiodd y tŵr yn Siloam, ac a'u lladdodd
hwynt: a ydych chwi yn tybied eu bod
† ddyled-wŷr. hwy yn † bechaduriaid mwy nâ'r holl
*ddynion* oedd yn cyfanneddu yn Jerusalem?
5 Nac oeddynt, meddaf i chwi: eithr,
onid edifarhêwch, chwi a ddifethir oll yn yr
un modd.
6 ¶ Ac efe a ddywedodd y ddammeg
a Esay 5. 2. Mat. 21. 19. hon: a Yr oedd gan un ffigysbren wedi ei
blannu yn ei winllan: ac efe a ddaeth i gei-
sio ffrwyth arno, ac ni's cafodd.
7 Yna efe a ddywedodd wrth y gwin-
llannydd, Wele, tair blynedd yr ydwyf yn
dyfod, gan geisio ffrwyth ar y ffigysbren
hwn; ac nid ydwyf yn cael *dim*: tor ef i
lawr; paham y mae efe yn diffrwytho'r
tir?
8 Ond efe gan atteb a ddywedodd wrtho,
Arglwydd, gad ef y flwyddyn hon hefyd,
hyd oni ddarffo i mi gloddio o'i amgylch, a
bwrw tail:
9 Ac os dwg efe ffrwyth, *da:* onid ê,
gwedi hynny tor ef i lawr.

10 Ac yr oedd efe yn dysgu yn un o'r
synagogau ar y sabbath.
11 ¶ Ac wele, yr oedd gwraig ag ynddi
ysbryd gwendid ddeunaw mlynedd, ac oedd
wedi cyd-grymmu, ac ni allai hi mewn modd
yn y byd ‡ ymuniawnu. ‡ Neu, ymddad-grymmu.
12 Pan welodd yr Iesu hon, efe a'i galw-
odd *hi* atto, ac a ddywedodd wrthi, *Ha*
wraig, rhyddhawyd di oddi wrth dy wen-
did.
13 Ac efe a roddes ei ddwylaw arni: ac
yn ebrwydd hi a uniawnwyd, ac a ogoned-
dodd Dduw.
14 A'r arch-synagogydd a attebodd yn
ddigllon, am i'r Iesu iachâu ar y sabbath,
ac a ddywedodd wrth y bobl, b Chwe diwr- b Exod. 20. 9.
nod sydd, yn y rhai y dylid gweithio: ar y
rhai'n gan hynny deuwch, a iachâer chwi;
ac c nid ar y dydd sabbath. c Mat. 12. 10.
15 Am hynny yr Arglwydd a'i hattebodd Marc 3. 2
ef, ac a ddywedodd, O ragrithiwr, d oni Pen. 6. 7.
ollwng pob un o honoch ar y sabbath ei a 14. 3.
ŷch neu ei asyn o'r preseb, a'i arwain i'r d Pen. 14. 5.
dwfr?
16 Ac oni ddylai hon, e a hi yn ferch i e Pen. 19. 9.
Abraham, yr hon a rwymodd Satan, wele
ddeunaw mlynedd, gael ei rhyddhâu o'r
rhwym hwn ar y dydd sabbath?
17 Ac fel yr oedd efe yn dywedyd y
pethau hyn, ei holl wrthwynebwŷr ef a
gywilyddiasant: a'r holl bobl a lawenych-
asant am yr holl bethau gogoneddus a wnaid
ganddo.
18 ¶ f Ac efe a ddywedodd, I ba beth y f Mat. 13. 31.
mae teyrnas Dduw yn debyg? ac i ba beth Marc 4. 30.
y cyffelybaf hi?
19 Tebyg yw i ronyn o had mwstard, yr
hwn a gymmerodd dyn ac a'i hauodd yn ei
ardd; ac efe a gynnyddodd, ac a aeth yn
bren mawr, ac adar yr awyr a nythasant yn
ei ganghennau ef.
20 A thrachefn y dywedodd, I ba beth
y cyffelybaf deyrnas Dduw?
21 Cyffelyb yw i surdoes, yr hwn a gym-
merodd gwraig ac a'i cuddiodd mewn
tri mesur o flawd, hyd oni surodd y cwbl
oll.
22 g Ac efe a dramwyodd trwy ddinas- g Mat. 9. 35.
oedd a threfi, gan athrawiaethu, ac ymdei- Marc 6. 6.
thio tu a Jerusalem.
23 A dywedodd un wrtho, Arglwydd,
ai ychydig yw y rhai cadwedig? Ac efe a
ddywedodd wrthynt,
24 ¶ h Ymdrechwch am fyned i mewn h Mat. 7. 13.
trwy'r porth cyfyng: canys i llawer, med-
daf i chwi, a geisiant fyned i mewn, ac ni's i Edrych Ioan 7. 34.
gallant. a 8. 21. a
25 k Gwedi cyfodi gwr y tŷ, a l chau'r 13. 33.
drws, a dechreu o honoch sefyll oddi Rhuf. 9. 31.
allan, a churo'r drws, gan ddywedyd, k Psal. 32. 6.
m Arglwydd, Arglwydd, agor i ni; ac l Esay 55. 6.
iddo yntau atteb a dywedyd wrthych, l Mat. 25.
n Nid adwaen ddim o honoch o ba le yr 10.
ydych: m Pen. 6. 46.
26 Yna y dechreuwch ddywedyd, Ni a
fwyttasom ac a yfasom yn dy ŵydd di, a thi n Mat. 25. 12.
a ddysgaist yn ein heolydd ni.
27 o Ac efe a ddywaid, Yr wyf yn dywe- o Mat. 7. 23. a 25. 41
dyd i chwi, Nid adwaen chwi o ba le yr Adn. 25.
ydych: p ewch ymaith oddi wrthyf, *chwi* p Psal. 6. 8.
holl weithredwŷr anwiredd. Mat. 12. 41.
28 q Yno y bydd wylofain a rhingcian q Mat. 8.
dannedd, r pan weloch Abraham, ac Isaac, 12. a 13. 42.
a Jacob, a'r holl brophwydi, yn nheyrn- a 24. 51.
as Dduw, a chwithau wedi eich bwrw r Mat. 8. 11.
allan.

29 A daw *y* rhai o'r dwyrain ac o'r
gorllewin, ac o'r gogledd ac o'r dehau, ac
a eisteddant yn nheyrnas Dduw.
[s] Mat. 19. 30 [s] Ac wele, olaf ydyw y rhai a fydd-
30. a 20. ant flaenaf, a blaenaf ydyw y rhai a fydd-
16. Marc 10. ant olaf.
31. 31 ¶ Y dwthwn hwnnw y daeth atto ryw
Phariseaid, gan ddywedyd wrtho, Dos allan,
a cherdda oddi yma: canys y mae Herod
yn ewyllysio dy ladd di.
32 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Ewch
a dywedwch i'r cadnaw hwnnw, Wele,
yr wyf yn bwrw allan gythreuliaid, ac yn
iachâu heddyw ac y foru, a'r trydydd dydd
y'm perffeithir.
33 Er hynny rhaid i mi ymdaith heddyw
ac y foru, a thrennydd: canys ni all fod y
derfydd am brophwyd allan o Jerusalem.
[t] Mat. 23. 34 [t] O Jerusalem, Jerusalem, yr hon wyt
37. yn lladd y prophwydi, ac yn llabyddio y
rhai a anfonir attat; pa sawl gwaith y myn-
naswn gasglu dy blant ynghyd, y modd *y*
† nythaid. *casgl* yr iar ei † chywion dan *ei* hadenydd, ac
ni's mynnech!
35 Wele, eich tŷ a adewir i chwi yn
anghyfannedd. Ac yn wir yr wyf yn dy-
wedyd wrthych, Ni welwch fi, hyd oni
[u] Psal. 118. ddêl yr amser pan ddywettoch, [u] Bendi-
26. gedig *yw* yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr
Arglwydd.

## PEN. XIV.

*2 Crist yn iachâu y dropsi ar y sabbath: 7 yn
dysgu gostyngeiddrwydd; 12 a gwneuthur
ciniawau i'r tlodion: 16 wrth ddammeg
y swpper mawr, yn dangos pa fodd y cauir
dynion â meddyliau bydol, y rhai a ddi-
ystyrant air Duw, allan o'r nef. 25 Rhaid
i'r rhai a fynnai fod yn ddisgyblion iddo,
i ddwyn eu croes, a gwneuthur eu cyfrifon
ymlaen llaw; rhag iddynt trwy gywilydd
syrthio oddi wrtho ar ol hynny, 34 a myned
yn gwbl ddilês, mal halen wedi colli ei flas.*

33. BU hefyd, pan ddaeth efe i dŷ un o ben-
naethiaid y Phariseaid ar y sabbath,
i fwytta bara, iddynt hwythau ei wylied ef.
2 Ac wele, 'r oedd ger ei fron ef ryw
† dyfr-glwyf. ddyn yn glaf o'r † dropsi.
3 A'r Iesu gan atteb a lefarodd wrth y
cyfreithwŷr a'r Phariseaid, gan ddywedyd,
[a] Mat. 12. [a] Ai rhŷdd iachâu ar y sabbath?
10. 4 A thewi a wnaethant. Ac efe a'i cym-
merodd atto, ac a'i hiachaodd ef, ac a'i
gollyngodd ymaith;
5 Ac a attebodd iddynt hwythau, ac a
[b] Exod. 23. ddywedodd, [b] Asyn neu ŷch pa un o
5. Deut. 22. honoch a syrth i bwll, ac yn ebrwydd ni's
4. tyn ef allan ar y dydd sabbath?
Pen. 13. 15. 6 Ac ni allent roi atteb yn ei erbyn ef am
y pethau hyn.
7 ¶ Ac efe a ddywedodd wrth y gwa-
hoddedigion ddammeg, pan ystyriodd fel
yr oeddynt yn dewis yr eisteddleoedd
uchaf; gan ddywedyd wrthynt,
8 Pan y'th wahodder gan neb i neithior,
nac eistedd yn y lle uchaf; rhag bod un
anrhydeddusach nâ thi wedi ei wahodd
ganddo;
9 Ac i hwn a'th wahoddodd di ac yntau,
ddyfod a dywedyd wrthyt, Dyro le i hwn;
ac yna dechreu o honot ti trwy gywilydd
gymmeryd y lle isaf.
[c] Diar. 25. 10 [c] Eithr pan y'th wahodder, dos ac
6, 7. eistedd yn y lle isaf; fel pan ddelo'r hwn
a'th wahoddodd di, y gallo efe ddywedyd
wrthyt, Y cyfaill, eistedd yn uwch i fynu.
Yna y bydd i ti glod yngŵydd y rhai a
eisteddant gyd â thi ar y bwrdd.
11 [d] Canys pob un a'r a'i dyrchafo ei [d] Job 22.
hun, a ostyngir; a'r hwn sydd yn ei ostwng 29. Diar. 29.
ei hun, a ddyrchefir. 23.
12 ¶ Ac efe a ddywedodd hefyd wrth Mat. 23.
yr hwn a'i gwahoddasai ef, Pan wnelych 12. Pen. 18.
giniaw neu swpper, na alw dy gyfeillion, 14.
na'th frodyr, na'th geraint, na'*th* gym- Iago 4. 6.
mydogion goludog; rhag iddynt hwythau 1 Petr 5. 5
eilchwyl dy wahodd dithau, a gwneuthur
taledigaeth i ti.
13 Eithr [e] pan wnelych wledd, galw y [e] Neh. 8.
tlodion, yr efryddion, y cloffion, y deillion: 10, 12.
14 A dedwydd fyddi; am nad oes gan- Tob. 4. 7.
ddynt ddim i dalu i ti: canys fe a dâlir i ti
yn adgyfodiad y rhai cyfiawn.
15 ¶ A phan glywodd rhyw un o'r rhai
oedd yn eistedd ar y bwrdd y pethau hyn,
efe a ddywedodd wrtho, [f] Gwyn ei fyd y [f] Dat. 19.
neb a fwyttao fara yn nheyrnas Dduw. 9.
16 Ac yntau a ddywedodd wrtho, [g] Rhyw [g] Mat. 22.
wr a wnaeth swpper mawr, ac a wahoddodd 2.
lawer:
17 Ac [h] a ddanfonodd ei was bryd swp- [h] Diar. 9.
per, i ddywedyd wrth y rhai a wahoddasid, 2, 5.
Deuwch; canys weithian y mae pob peth
yn barod.
18 A hwy oll a ddechreuasant yn un-*fryd*
ymesgusodi. Y cyntaf a ddywedodd wrtho,
Mi a brynais dyddyn, ac y mae yn rhaid i
mi fyned a'i weled: attolwg i ti, cymmer fi
yn esgusodol.
19 Ac arall a ddywedodd, Mi a brynais
bùm iau o ychen, ac yr ydwyf yn myned
i'w profi hwynt: attolwg i ti, cymmer fi yn
esgusodol.
20 Ac arall a ddywedodd, Mi a brïodais
wraig; ac am hynny ni's gallaf fi ddyfod.
21 A'r gwas hwnnw, pan ddaeth *adref*,
a fynegodd y pethau hyn i'w arglwydd.
Yna gwr y tŷ, wedi digio, a ddywedodd
wrth ei was, Dos allan ar frys i heolydd
ac ystrydoedd y ddinas, a dwg i mewn
yma y tlodion, a'r anafus, a'r cloffion, a'r
deillion.
22 A'r gwas a ddywedodd, Arglwydd,
gwnaethpwyd fel y gorchymynaist; ac etto
y mae lle.
23 A'r arglwydd a ddywedodd wrth y
gwas, Dos allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau,
a chymmell *hwynt* i ddyfod i mewn, fel y
llanwer fy nhŷ.
24 Canys yr wyf yn dywedyd i chwi, na
chaiff yr un o'r gwŷr hynny a wahoddwyd,
brofi o'm swpper i.
25 ¶ A llawer o bobl a gyd-gerddodd
ag ef: ac efe a droes, ac a ddywedodd
wrthynt,
26 [i] Os daw neb attaf fi, ac ni chasao ei [i] Deut. 13.
dad, a'i fam, a'i wraig, a'i blant, a'i frodyr, 6. a 33. 9. Marc 10.
a'i chwïorydd, ïe, a'i einioes ei hun hefyd, 37.
ni all efe fod yn ddisgybl i mi.
27 A [k] phwy bynnag ni ddycco ei groes, [k] Mat. 16.
a dyfod ar fy ol i, ni all efe fod yn ddisgybl 24. Marc 8. 34.
i mi. Pen. 9. 23.
28 ¶ Canys [l] pwy o honoch chwi a'i [l] Diar. 24.
fryd a'r adeiladu tŵr, nid eistedd yn gyntaf, 27.
a bwrw'r draul, a oes ganddo a'i gor-
pheno?
29 Rhag wedi iddo osod y sail, ac heb allu
*ei* orphen, ddechreu o bawb a'i gwelant ei
watwar ef,
30 Gan ddywedyd, Y dyn hwn a
ddechreuodd adeiladu, ac ni allodd ei
orphen.

31 Neu pa frenhin yn myned i ryfel yn
erbyn brenhin arall, nid eistedd yn gyn-
taf, ac ymgynghori a all efe a deng mil
gyfarfod â'r hwn sydd yn dyfod yn ei
erbyn ef â dau ugain mil?
32 Ac os amgen, tra fyddo efe ym mhell
*oddi wrtho*, efe a enfyn gennadwri, ac a
ddeisyf ammodau heddwch.
33 Felly hefyd, pob un o honoch chwi-
thau nid ymwrthodo â chymmaint oll ag a
feddo, ni all fod yn ddisgybl i mi.
[m] Mat. 5. 13. Mar. 9. 50. 34 ¶ [m] Da *yw*'r halen: eithr o bydd yr
halen yn ddiflas, â pha beth yr helltir ef?
35 Nid yw efe gymmwys nac i'r tir, nac
i'r dommen; *ond* ei fwrw ef allan y maent.
Y neb sydd ganddo glustiau i wrando,
gwrandawed.

## PEN. XV.

1 *Dammeg y ddafad a gollesid*, 8 *y darn arian*,
11 *a'r mab afradlon.*

33. AC [a] yr oedd yr holl bublicanod a'r
[a] Mat. 9. 10. pechaduriaid yn nesáu atto ef, i
wrando arno.
2 A'r Phariseaid a'r ysgrifenyddion a
rwgnachasant, gan ddywedyd, Y mae hwn
[b] Gal. 2. 12. yn derbyn pechaduriaid, [b] ac yn bwytta
gyd â hwynt.
3 ¶ Ac efe a adroddodd wrthynt y ddam-
meg hon, gan ddywedyd,
[c] Mat. 18. 12. 4 [c] Pa ddyn o honoch a chanddo gant o
ddefaid, ac os cyll un o honynt, nid yw yn
gadael yr amyn un pum ugain yn yr anial-
wch, ac yn myned ar ol yr hon a gollwyd,
hyd oni chaffo efe hi?
5 Ac wedi iddo ei chael, efe a'i dŷd *hi*
ar ei ysgwyddau ei hun yn llawen.
6 A phan ddêl adref, efe a eilw ynghŷd
*ei* gyfeillion a'i gymmydogion, gan ddy-
wedyd wrthynt, Llawenhêwch gyd â mi;
[d] 1 Petr 2. 10, 25. canys cefais fy nafad [d] a gollasid.
7 Yr wyf yn dywedyd i chwi, mai felly
y bydd llawenydd yn y nef am un pechadur
[e] Pen. 5. 32. a edifarhao, [e] *mwy* nag am onid un pum
ugain o rai cyfiawn, y rhai nid rhaid iddynt
wrth edifeirwch.
8 ¶ Neu pa wraig, a chanddi ddeg
† o ddrachmau. † dryll o arian, os cyll hi un dryll, ni oleu
ganwyll, ac ysgubo'r tŷ, a cheisio yn ddy-
fal, hyd oni's caffo *ef*?
9 Ac wedi iddi *ei* gael, hi a eilw ynghŷd
*ei* chyfeillesau a'i chymmydogesau, gan
ddywedyd, Cyd-lawenhêwch â mi; canys
cefais y dryll a gollaswn.
10 Felly, meddaf i chwi, y mae llawen-
ydd yng ŵydd angylion Duw am un pech-
adur a edifarhao.
11 ¶ Ac efe a ddywedodd, Yr oedd gan
ryw wr ddau fab:
12 A'r ieuangaf o honynt a ddywedodd
wrth *ei* dad, *Fy* nhad, dyro i mi y rhan a
ddigwydd o'r da. Ac efe a rannodd iddynt
[f] 1 Ioan 3. 17. [f] *ei* ‡ fywyd.
‡ olud. 13 Ac ar ol ychydig ddyddiau y mab
ieuangaf a gasglodd y cwbl ynghŷd, ac a
gymmerth ei daith i wlad bell; ac yno *efe*
a wasgarodd ei dda, gan fyw yn afradlon.
14 Ac wedi iddo dreulio'r cwbl, y cododd
§ Gr. cryf. newyn § mawr trwy'r wlad honno; ac
yntau a ddechreuodd fod mewn eisiau.
15 Ac efe a aeth ac a lynodd wrth un
o ddinaswŷr y wlad honno; ac efe a'i
hanfonodd ef i'w faesydd i borthi moch.
16 Ac efe a chwennychai lenwi ei fol
â'r cibau a fwyttâi'r moch; ac ni roddodd
neb iddo.
17 A phan ddaeth atto ei hun, efe a ddy-
wedodd, Pa sawl gwas cyflog o'r eiddo fy
nhad sydd yn cael eu gwala a'u gweddill o
fara, a minnau yn marw o newyn?
18 Mi a godaf, ac a af at fy nhad, ac a
ddywedaf wrtho, *Fy* nhad, pechais yn erbyn
y nef, ac o'th flaen dithau;
19 Ac mwyach nid ydwyf deilwng i'm
galw yn fab i ti: gwna fi fel un o'th weision
cyflog.
20 Ac efe a gododd, ac a aeth at ei dad.
A [g] phan oedd efe etto ym mhell oddi [g] Act. 2.
wrtho, ei dad a'i canfu ef, ac a dosturiodd, 39.
ac a redodd ac a syrthiodd ar ei wddf ef, Eph. 2. 13, 17.
ac a'i cusanodd.
21 A'r mab a ddywedodd wrtho, *Fy*
nhad, pechais yn erbyn y nef, [h] ac o'th [h] Psal. 51.
flaen dithau; ac nid ydwyf mwy deilwng 4.
i'm galw yn fab i ti.
22 A'r tad a ddywedodd wrth ei weision,
Dygwch allan y wisg oreu, a gwisgwch am
dano ef, a rhoddwch fodrwy ar ei law, ac
esgidiau am *ei* draed.
23 A dygwch y llo pasgedig, a lleddwch
*ef*; a bwyttâwn, a byddwn lawen.
24 Canys fy mab hwn oedd farw, ac a aeth
yn fyw drachefn; *ac* efe a gollesid, ac a
gaed. A hwy a ddechreuasant fod yn llawen.
25 Ac yr oedd ei fab hynaf ef yn y maes;
a phan ddaeth efe a nesáu at y tŷ, efe a
glywai gynghanedd a dawnsio.
26 Ac wedi iddo alw un o'r gweision, efe
a ofynodd beth oedd hyn.
27 Yntau a ddywedodd wrtho, Dy frawd a
ddaeth; a'th dad a laddodd y llo pasgedig,
am iddo ei dderbyn ef yn iach.
28 Ond efe a ddigiodd, ac nid âi i mewn.
Am hynny y daeth ei dad allan, ac a ym-
biliodd ag ef.
29 Yntau a attebodd *ac* a ddywedodd
wrth *ei* dad, Wele, cynnifer o flynyddoedd
yr ydwyf yn dy wasanaethu di, ac ni thros-
eddais i un amser dy orchymyn; ac ni
roddaist fynn erioed i mi, i fod yn llawen
gyd â'm cyfeillion:
30 Eithr pan ddaeth dy fab hwn, yr hwn
a ddifaodd dy fywyd di gyd â phutteiniaid,
ti a leddaist iddo ef y llo pasgedig.
31 Ac efe a ddywedodd wrtho, Fy mab,
yr wyt ti yn wastadol gyd â mi, a'r eiddot
fi oll ydynt eiddot ti.
32 Rhaid oedd lawenychu, a gorfoleddu:
oblegid dy frawd hwn oedd yn farw, ac a
aeth yn fyw drachefn; ac a fu golledig, ac
a gafwyd.

## PEN. XVI.

1 *Dammeg y goruchwyliwr anghyfiawn.* 14
*Crist yn ceryddu rhagrith y Phariseaid cy-
byddlyd.* 19 *Y glwth goludog, a Lazarus y
cardottyn.*

AC efe a ddywedodd hefyd wrth ei ddis- 30.
gyblion, Yr oedd rhyw wr goludog
yr hwn oedd ganddo oruchwyliwr; a hwn
a gyhuddwyd wrtho, ei fod efe megis yn
afradloni ei dda ef.
2 Ac efe a'i galwodd ef, ac a ddywedodd
wrtho, Pa beth yw hyn yr wyf yn ei glywed
am danat? dyro gyfrif o'th oruchwyliaeth:
canys ni elli fod mwy yn oruchwyliwr.
3 A'r goruchwyliwr a ddywedodd ynddo
ei hun, Pa beth a wnaf? canys y mae fy
arglwydd yn dwyn yr oruchwyliaeth oddi
arnaf: cloddio ni's gallaf, a chardotta sydd
gywilyddus gennyf.
4 Mi a wn beth a wnaf, fel, pan y'm
bwrier allan o'r oruchwyliaeth, y derbyn-
iont fi i'w tai.

5 Ac wedi iddo alw atto bob un o ddyledwŷr ei arglwydd, efe a ddywedodd wrth y cyntaf, Pa faint sydd arnat ti o ddyled i'm harglwydd?

6 Ac efe a ddywedodd, Can mesur o olew. Ac efe a ddywedodd wrtho, Cymmer dy 'sgrifen, ac eistedd ar frys, ac ysgrifena ddeg a deugain.

7 Yna y dywedodd wrth *un* arall, A pha faint o ddyled sydd arnat tithau? Ac efe a ddywedodd, Can mesur o wenith. Ac efe a ddywedodd wrtho, Cymmer dy 'sgrifen, ac ysgrifena bedwar ugain.

8 A'r arglwydd a ganmolodd y goruchwyliwr anghyfiawn, am iddo wneuthur yn gall: oblegid y mae plant y byd hwn [a] yn gallach yn eu cenhedlaeth nâ phlant y goleuni.

9 Ac yr wyf yn dywedyd i chwi, [b] Gwnewch i chwi gyfeillion o'r † mammon anghyfiawn: fel, pan fo eisiau arnoch, y'ch derbyniont i'r tragywyddol bebyll.

10 [c] Y neb sydd ffyddlon yn y lleiaf, sydd ffyddlon hefyd mewn llawer; a'r neb sydd anghyfiawn yn y lleiaf, sydd anghyfiawn hefyd mewn llawer.

11 Am hynny, oni buoch ffyddlon yn y ‡ mammon anghyfiawn, pwy a ymddiried i chwi am y gwir *olud?*

12 Ac oni buoch ffyddlon yn yr eiddo arall, pwy a rydd i chwi yr eiddoch eich hun?

13 ¶ [d] Ni ddichon un gwas wasanaethu dau arglwydd: canys naill ai efe a gasâ y naill, ac a gâr y llall; ai efe a lŷn wrth y naill, ac a ddirmyga'r llall: ni ellwch wasanaethu Duw a § mammon.

14 A'r Phariseaid hefyd, [e] y rhai oedd arian-gar, a glywsant y pethau hyn oll, ac a'i gwatwarasant ef.

15 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Chwychwi yw y rhai sydd yn eich cyfiawnhâu eich hunain ger bron dynion; eithr [f] Duw a ŵyr eich calonnau chwi: canys [g] y peth sydd uchel gyd â dynion, sydd ffiaidd ger bron Duw.

16 [h] Y gyfraith a'r prophwydi *oedd* hyd Ioan: er y pryd hwnnw y pregethir teyrnas Duw, a phob dyn sydd yn ymwthio iddi.

17 [i] A haws yw i nef a daear fyned heibio, nag i un tippyn o'r gyfraith || ballu.

18 [k] Pwy bynnag a ollyngo ymaith ei wraig, ac a briodo un arall, y mae efe yn godinebu; a phwy bynnag a briodo yr hon a ollyngwyd ymaith oddi wrth *ei* gwr, y mae efe yn godinebu.

19 ¶ Yr oedd rhyw wr goludog, ac a wisgid â phorphor a † lliain main, ac yr oedd yn cymmeryd byd da yn helaethwych beunydd:

20 Yr oedd hefyd rhyw gardottyn, a'i enw Lazarus, yr hwn a fwriid wrth ei borth ef yn gornwydlyd,

21 Ac yn chwennychu cael ei borthi â'r briwsion a syrthiai oddi ar fwrdd y gwr cyfoethog; ond y cwn a ddaethant, ac a lyfasant ei gornwydydd ef.

22 A bu, i'r cardottyn farw, a'i ddwyn gan yr angylion i fynwes Abraham. A'r goludog hefyd a fu farw, ac a gladdwyd:

23 Ac yn uffern efe a gododd ei olwg, ac efe mewn poenau, ac a ganfu Abraham o hirbell, a Lazarus yn ei fynwes.

24 Ac efe a lefodd, ac a ddywedodd, O dad Abraham, trugarhâ wrthyf, a danfon Lazarus, i drochi pen ei fys mewn dwfr, ac

[a] Ioan 12. 36. Eph. 5. 8. 1 Thess. 5. 5.
[b] Dan. 4. 27. Mat. 6. 19. a 19. 21. Pen. 11. 41. 1 Tim. 6. 17, 18, 19.
† golud.
[c] Pen. 19. 17.
‡ golud.
[d] Mat. 6. 24.
§ golud.
[e] Mat. 23. 14.
[f] Psal. 7. 9.
[g] 1 Sam. 16. 7.
[h] Mat. 11. 12, 13.
[i] Psal. 102. 26, 27. Esay 40. 8. a 51. 6. Mat. 5. 18. 1 Petr 1. 25.
|| syrthio.
[k] Mat. 5. 32. a 19. 9. Marc 10. 11. 1 Cor. 7. 10, 11.
† sidan.

i [l] oeri fy nhafod: canys fe a'm [m] poenir yn y fflam hon.

25 Ac Abraham a ddywedodd, *Ha* fab, [n] coffa i ti dderbyn dy wynfyd yn dy fywyd, ac felly Lazarus ei adfyd; ac yn awr y diddenir ef, ac y poenir dithau.

26 Ac heb law hyn oll, rhyngom ni a chwithau y sicrhawyd gagendor mawr: fel na allo y rhai a fynnent, dramwy oddi ymâ attoch chwi; na'r rhai oddi yna, dramwy attom ni.

27 Ac efe a ddywedodd, Yr wyf yn attolwg i ti gan hynny, O dad, ddanfon o honot ef i dŷ fy nhad:

28 Canys y mae i mi bump o frodyr: fel y tystiolaetho iddynt hwy, rhag dyfod o honynt hwythau hefyd i'r lle poenus hwn.

29 Abraham a ddywedodd wrtho, [o] Y mae ganddynt Moses a'r prophwydi; gwrandawant arnynt hwy.

30 Yntau a ddywedodd, Nag ê, y tad Abraham: eithr os â un oddi wrth y meirw attynt, hwy a edifarhânt.

31 Yna *Abraham* a ddywedodd wrtho, Oni wrandawant ar Moses a'r prophwydi, [p] ni chredant chwaith pe codai un oddi wrth y meirw.

[l] Zech. 14. 12.
[m] Esay 66. 24. Marc 9. 44, &c.
[n] Job 21. 13.
[o] Esay 8. 20. a 34. 16. Ioan 5. 39, 45. Act. 15. 21. a 17. 11.
[p] Ioan 12. 10, 11.

## PEN. XVII.

*1 Crist yn dysgu gochelyd achosion rhwystr. 3 Am faddeu bawb i'w gilydd. 6 Gallu ffydd. 7 Pa fodd yr ydym ni yn rhwymedig i Dduw, ag nid efe i ni. 11 Y mae yn iachâu deg o wahan-gleifion. 22 Am deyrnas Dduw, a dyfodiad Mab y dyn.*

AC efe a ddywedodd wrth y disgyblion, 33.
[a] Ni all na ddêl rhwystrau; ond gwae *efe* trwy'r hwn y deuant.

2 Gwell fyddai iddo pe rhoddid maen melin o amgylch ei wddf ef, a'i daflu i'r môr, nag iddo rwystro un o'r rhai bychain hyn.

3 ¶ Edrychwch arnoch eich hunain: [b] os pecha dy frawd yn dy erbyn, [c] cerydda ef; ac os edifarhâ efe, maddeu iddo.

4 Ac os pecha yn dy erbyn seithwaith yn y dydd, a seithwaith yn y dydd droi attat, gan ddywedyd, Y mae yn edifar gennyf; maddeu iddo.

5 A'r apostolion a ddywedasant wrth yr Arglwydd, Anghwanega ein ffydd ni.

6 [d] A'r Arglwydd a ddywedodd, Pe byddai gennych ffydd gymmaint a gronyn o had mwstard, chwi a ellych ddywedyd wrth y sycamor-wydden hon, Ymddadwreiddia, a phlanner di yn y môr; a hi a ufuddhâi i chwi.

7 Eithr pwy o honoch chwi ag iddo was yn aredig, neu yn bugeilio, a ddywaid wrtho yn y man pan ddêl o'r maes, Dos ac eistedd i lawr i fwytta?

8 Ond yn hytrach a ddywaid wrtho, Arlwya i mi i swpperu, ac ymwregysa, a gwasanaetha arnaf fi, nes i mi fwytta ac yfed; ac wedi hynny y bwyttâi ac yr yfi dithau?

9 Oes ganddo ddiolch i'r gwas hwnnw, am wneuthur o hono y pethau a orchymynasid iddo? Nid wyf yn tybied.

10 Felly chwithau hefyd, gwedi i chwi wneuthur y cwbl oll ag a orchymynwyd i chwi, dywedwch, Gweision [e] anfuddiol ydym: oblegid yr hyn a ddylasem ei wneuthur, a wnaethom.

11 ¶ Bu hefyd, ac efe yn myned i Jerusalem, fyned o hono ef trwy ganol Samaria a Galilea.

[a] Mat. 18. 6, 7. Marc 9. 42.
[b] Mat. 18. 15, 21.
[c] Diar. 17. 10. Iago 5. 19.
[d] Mat. 17. 20. Marc 9. 23. a 11. 23.
[e] Mat. 25. 30. Rhuf. 3. 12. Philem. 11.

12 A phan oedd efe yn myned i mewn i ryw dref, cyfarfu ag ef ddeg o wŷr gwahan-gleifion, y rhai a safasant o hirbell.

13 A hwy a godasant *eu* llef, gan ddywedyd, Iesu Feistr, trugarhâ wrthym.

14 A phan welodd efe *hwynt,* efe a ddywedodd wrthynt, [f] Ewch a dangoswch eich hunain i'r offeiriaid. A bu fel yr oeddynt yn myned, fe a'u glanhawyd hwynt.

f Lef. 13. 2. a 14. 2. Mat. 8. 4.

15 Ac un o honynt, pan welodd ddarfod ei iachâu, a ddychwelodd, gan foliannu Duw â llef uchel.

16 Ac efe a syrthiodd ar *ei* wyneb wrth ei draed ef, gan ddiolch iddo. A Samariad oedd efe.

17 A'r Iesu gan atteb a ddywedodd, Oni lanhawyd y deg? ond pa le *y mae'*r naw?

18 Ni chaed a ddychwelasant i roi gogoniant i Dduw, ond yr estron hwn.

19 [g] Ac efe a ddywedodd wrtho, Cyfod, a dos ymaith: dy ffydd a'th iachaodd.

g Mat. 9. 22. Marc 5. 34. a 10. 52. Pen. 7. 50. a 8. 48. a 18. 42.

20 ¶ A phan ofynodd y Phariseaid iddo, pa bryd y deuai deyrnas Dduw, efe a attebodd iddynt, ac a ddywedodd, Ni ddaw teyrnas Dduw wrth ddisgwyl.

21 Ac ni ddywedant, Wele yma; neu, Wele accw: canys wele, teyrnas Dduw, † o'ch mewn chwi y mae.

† Neu, *yn eich plith chwi.*

22 Ac efe a ddywedodd wrth y disgyblion, [h] Y dyddiau a ddaw pan chwennychoch weled un o ddyddiau Mab y dyn, ac ni's gwelwch.

h Edrych Mat. 9. 15. Ioan 17. 12.

23 A [i] hwy a ddywedant wrthych, Wele yma; neu, Wele accw: nac ewch, ac na chanlynwch *hwynt.*

i Mat. 24. 23. Marc 13. 21. Pen. 21. 8.

24 [k] Canys megis y mae y fellten a felltenna o'r naill *ran* dan y nef, yn disgleirio hyd y *rhan* arall dan y nef; felly y bydd Mab y dyn hefyd yn ei ddydd ef.

k Mat. 24. 27.

25 [l] Eithr yn gyntaf rhaid iddo ddioddef llawer, a'i wrthod gan y genhedlaeth hon.

l Marc 8. 31. a 9. 31. a 10. 33. Pen. 9. 22.

26 [m] Ac megis y bu yn nyddiau Noë, felly y bydd hefyd yn nyddiau Mab y dyn.

m Gen. 7. Mat. 24. 37.

27 Yr oeddynt yn bwytta, yn yfed, yn gwreicca, yn gŵra, hyd y dydd yr aeth Noë i mewn i'r arch; a daeth y diluw, ac a'u difethodd hwynt oll.

28 [n] Yr un modd hefyd ag y bu yn nyddiau Lot: yr oeddynt yn bwytta, yn yfed, yn prynu, yn gwerthu, yn plannu, yn adeiladu;

n Gen. 19.

29 Eithr y dydd yr aeth Lot allan o Sodom, y gwlawiodd tân a brwmstan o'r nef, ac a'u difethodd hwynt oll:

30 Fel hyn y bydd yn y dydd y datguddir Mab y dyn.

31 Yn y dydd hwnnw y neb [o] a fyddo ar ben y tŷ, a'i ddodrefn o fewn y tŷ, na ddisgyned i'w cymmeryd hwynt; a'r hwn *a fyddo* yn y maes, yr un ffunud na ddychweled yn ei ol.

o Mat. 24. 17.

32 [p] Cofiwch wraig Lot.

p Gen. 19. 26.

33 [q] Pwy bynnag a geisio gadw ei einioes, a'i cyll; a phwy bynnag a'i cyll, a'i bywhâ hi.

q Mat. 10. 39. a 16. 25. Marc 8. 35. Pen. 9. 24. Ioan 12. 25.

34 [r] Yr wyf yn dywedyd i chwi, Y nos honno y bydd dau yn yr un gwely; y naill a gymmerir, a'r llall a adewir.

r Mat. 24. 40, 41. 1 Thess. 4. 17.

35 Dwy a fydd yn malu yn yr un lle; y naill a gymmerir, a'r llall a adewir.

‡ 36 Dau a fyddant yn y maes; y naill a gymmerir, a'r llall a adewir.

‡ Mae'r 36 adnod yma yn eisiau yn y rhan fwyaf o'r copiau Groeg.

37 A hwy a attebasant ac a ddywedasant wrtho, [s] Pa le, Arglwydd? Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa le bynnag y *byddo'*r corph, yno yr ymgasgl yr eryrod.

s Job 39. 30. Mat. 24. 28.

PEN. XVIII.

3 *Am y weddw daer.* 9 *Am y Pharisead a'r publican.* 15 *Dwyn plant at Grist.* 18 *Y llywydd a fynnai ganlyn Crist, ond a rwystrir gan ei gyfoeth.* 28 *Gwobr y rhai a ymadawant â'r cwbl oll er ei fwyn ef.* 31 *Y mae efe yn rhag-fynegi ei farwolaeth;* 35 *ac yn rhoddi i ddyn dall ei olwg.*

AC efe a ddywedodd hefyd ddammeg wrthynt, fod yn rhaid gweddïo [a] yn wastad, ac heb ddiffygio; 33.

a Pen. 21. 36. Rhuf. 12. 12. Eph. 6. 18. Col. 4. 2. 1 Thess. 5. 17.

2 Gan ddywedyd, Yr oedd rhyw farnwr mewn † rhyw ddinas, yr hwn nid ofnai Dduw, ac ni pharchai ddyn.

† *dinas.*

3 Yr oedd hefyd yn y ddinas honno wraig weddw; a hi a ddaeth atto ef, gan ddywedyd, Dïal fi ar fy ngwrthwynebwr.

4 Ac efe ni's gwnai dros amser: eithr wedi hynny efe a ddywedodd ynddo ei hun, Er nad ofnaf Dduw, ac na pharchaf ddyn;

5 Etto am fod y weddw hon yn peri i mi flinder, mi a'i dïalaf hi; rhag iddi yn y diwedd ddyfod a'm syfrdanu i.

6 A'r Arglwydd a ddywedodd, Gwrandêwch beth a ddywaid y barnwr anghyfiawn.

7 Ac [b] oni ddïal Duw ei etholedigion, sy yn llefain arno ddydd a nos, er ei fod yn hir oedi drostynt?

b Dat. 6. 10.

8 Yr wyf yn dywedyd i chwi, [c] y dïal efe hwynt ar frys. Eithr Mab y dyn, pan ddêl, a gaiff efe ffydd ar y ddaear?

c Heb. 10. 37. 2 Petr 3. 8, 9.

9 Ac efe a ddywedodd y ddammeg hon hefyd wrth y rhai oedd yn hyderu arnynt eu hunain ‡ eu bod yn gyfiawn, ac yn diystyru eraill:

‡ *megis pe baent,* &c.

10 Dau wr a aeth i fynu i'r deml i weddïo; un yn Pharisead, a'r llall yn bublican.

11 Y Pharisead o'i sefyll a weddïodd rhyngddo ac ef ei hun fel hyn; § O Dduw, yr wyf yn diolch i ti nad wyf fi fel *y mae* dynion eraill, yn drawsion, yn anghyfiawn, yn odinebwŷr; neu, fel y publican hwn chwaith.

§ Esay 1. 15. a 58. 2. Dat. 3. 17.

12 Yr wyf yn ymprydio ddwywaith yn yr wythnos; yr wyf yn degymmu cymmaint oll ag a feddaf.

13 A'r publican, gan sefyll o hirbell, ni fynnai cymmaint a chodi ei olygon tu a'r nef; eithr efe a gurodd ei ddwyfron, gan ddywedyd, O Dduw, bydd drugarog wrthyf bechadur.

14 Dywedaf i chwi, Aeth hwn i wared i'w dŷ wedi ei gyfiawnhâu *yn fwy* nâ'r llall: [d] canys pob un a'r y sydd yn ei ddyrchafu ei hun, a ostyngir; a phob un a'r y sydd yn ei ostwng ei hun, a ddyrchefir.

d Job 22. 29. Mat. 23. 12. Pen. 14. 11. Iago 4. 6. 1 Petr 5. 5, 6.

15 ¶ [e] A hwy a ddygasant atto blant bychain hefyd, fel y cyffyrddai efe â hwynt: a'r disgyblion pan welsant, a'u ceryddasant hwy.

e Mat. 19. 13. Marc 10. 13.

16 Eithr yr Iesu a'u galwodd hwynt atto, ac a ddywedodd, Gadêwch i'r plant bychain ddyfod attaf fi, ac na waherddwch hwynt: canys [f] eiddo y cyfryw rai yw teyrnas Dduw.

f 1 Cor. 14. 20. 1 Petr 2. 2.

17 [g] Yn wir meddaf i chwi, Pwy bynnag ni dderbynio deyrnas Dduw fel dyn bach, nid â efe i mewn iddi.

g Marc 10. 15.

18 ¶ [h] A rhyw lywodraethwr a ofynodd iddo, gan ddywedyd, Athraw da, wrth wneuthur pa beth yr etifeddaf fi fywyd tragywyddol?

h Mat. 19. 16. Marc 10. 17.

19 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Paham y'm gelwi yn dda? nid *oes* neb yn dda ond un, *sef* Duw.

i Exod. 20. 12, 13. Rhuf. 13. 9. k Eph. 6. 2. Col. 3. 20.
20 Ti a wyddost y gorchymynion, i Na
odineba, Na ladd, Na ladratta, Na ddwg gam
dystiolaeth, k Anrhydedda dy dad a'th fam.
21 Ac efe a ddywedodd, Hyn oll a gedw-
ais o'm hieuengctid.
22 A'r Iesu pan glybu hyn, a ddywedodd
wrtho, Y mae un peth etto yn ol i ti:
l Mat. 6. 19, 20. a 19. 21. 1 Tim. 6. 19. l gwerth yr hyn oll sydd gennyt, a dyro
i'r tlodion; a thi a gai drysor yn y nef: a
thyred, canlyn fi.
23 Ond pan glybu efe y pethau hyn, efe
a aeth yn athrist: canys yr oedd efe yn gy-
foethog iawn.
24 A'r Iesu, pan welodd ef wedi myned
m Diar. 11. 28. Mat. 13. 22. yn athrist, a ddywedodd, m Mor anhawdd
yr â y rhai y mae golud ganddynt i mewn i
deyrnas Dduw!
25 Canys haws yw i gamel fyned trwy
grau y nodwydd ddur, nag i oludog fyned i
mewn i deyrnas Dduw.
26 A'r rhai a glywsent a ddywedasant, A
phwy a all fod yn gadwedig?
n Jer. 32. 17. Zech. 8. 6. Mat. 19. 26. Pen. 1. 37.
27 Ac efe a ddywedodd, n Y pethau sy
ammhosibl gyd â dynion, sydd bosibl gyd
â Duw.
28 o A dywedodd Petr, Wele, nyni a
o Mat. 19. 27. adawsom bob peth, ac a'th ganlynasom di.
29 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Yn wir
p Deut. 33. 9. meddaf i chwi, p Nid oes neb a'r a adawodd
dŷ, neu rieni, neu frodyr, neu wraig, neu
blant, er mwyn teyrnas Dduw,
Job 42. 12. 30 q A'r ni's derbyn lawer cymmaint yn
y pryd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tra-
gywyddol.
Mat. 16. 21. a 17. 22. a 20. 17. Marc 10. 32.
31 ¶ r Ac efe a gymmerodd y deuddeg
atto, ac a ddywedodd wrthynt, Wele, yr
ydym ni yn myned i fynu i Jerusalem; a
chyflawnir pob peth s a'r sydd yn ysgrifen-
Psal. 22. Esay 53. edig trwy'r prophwydi am Fab y dyn.
Mat. 27. 2. Pen. 23. 1. Ioan 18. 28. Act. 3. 13.
32 Canys t efe a draddodir i'r Cenhedl-
oedd, ac a watwerir, ac a ammherchir, ac a
boerir arno:
33 Ac wedi iddynt ei fflan-gellu, y lladd-
ant ef: a'r trydydd dydd efe a adgyfyd.
34 A hwy ni ddeallasant ddim o'r pethau
hyn; a'r gair hwn oedd guddiedig oddi
wrthynt, ac ni wybuant y pethau a ddy-
wedwyd.
u Mat. 20. 29. Marc 10. 46.
35 ¶ u A bu, ac efe yn nesâu at Jericho,
i ryw ddyn dall fod yn eistedd yn ymyl y
ffordd yn cardotta:
36 A phan glybu efe y dyrfa yn myned
heibio, efe a ofynodd pa beth oedd hyn.
37 A hwy a ddywedasant iddo, Mai Iesu
o Nazareth oedd yn myned heibio.
38 Ac efe a lefodd, gan ddywedyd, Iesu
Fab Dafydd, trugarhâ wrthyf.
39 A'r rhai oedd yn myned o'r blaen,
a'i ceryddasant ef i dewi: eithr efe a lefodd
yn fwy o lawer, Mab Dafydd, trugarhâ
wrthyf.
40 A'r Iesu a safodd, ac a orchymynodd
ei ddwyn ef atto. A phan ddaeth efe yn
agos, efe a ofynodd iddo,
41 Gan ddywedyd, Pa beth a fynni di i
mi ei wneuthur i ti? Yntau a ddywedodd,
Arglwydd, cael o honof fy ngolwg.
42 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Cymmer
x Pen. 17. 19. dy olwg: x dy ffydd a'th iachaodd.
43 Ac allan o law y cafodd efe ei olwg,
ac a'i canlynodd ef, gan ogoneddu Duw.
A'r holl bobl, pan welsant, a roisant foliant
i Dduw.

PEN. XIX.

*1 Am Zacchëus y publican. 11 Y deg darn o
arian. 28 Crist yn marchogaeth i Jerusalem
mewn gorfoledd: 41 yn wylo drosti: 45 yn
gyrru y prynwŷr a'r gwerthwŷr allan o'r
deml; 47 gan athrawiaethu beunydd ynddi.
Y llywodraethwŷr a fynnent ei ddifetha ef,
oni bai rhag ofn y bobl.*

A'R Iesu a aeth i mewn, ac a aeth trwy 33.
Jericho.
2 Ac wele, wr a elwid wrth ei enw Zac-
chëus, ac efe oedd ben-publican, a hwn oedd
gyfoethog.
3 Ac yr oedd efe yn ceisio gweled yr Iesu,
pwy ydoedd; ac ni allai gan y dyrfa, am ei
fod yn fychan o gorpholaeth.
4 Ac efe a redodd o'r blaen, ac a ddring-
odd i sycamor-wŷdden, fel y gallai ei weled
ef: oblegid yr oedd efe i ddyfod y ffordd
honno.
5 A phan ddaeth yr Iesu i'r lle, efe a
edrychodd i fynu, ac a'i canfu ef; ac a ddy-
wedodd wrtho, Zacchëus, disgyn ar frys:
canys rhaid i mi heddyw aros yn dy dŷ di.
6 Ac efe a ddisgynodd ar frys, ac a'i der-
byniodd ef yn llawen.
7 A phan welsant, grwgnach a wnaethant
oll, gan ddywedyd, Fyned o hono ef i mewn
i lettya at wr pechadurus.
8 A Zacchëus a safodd, ac a ddywedodd
wrth yr Arglwydd, Wele, hanner fy nâ, O
Arglwydd, yr ydwyf yn ei roddi i'r tlod-
ion; ac os dygais ddim o'r eiddo neb trwy
a gam-achwyn, yr ydwyf yn ei dalu ar ei a Exod. 22. 1.
bedwerydd.
9 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Heddyw Pen. 3. 14.
y daeth iachawdwriaeth i'r tŷ hwn, o her-
wydd b ei fod yntau c yn fab i Abraham. b Rhuf. 4. 11, 12, 16.
10 d Canys Mab y dyn a ddaeth i geisio Gal. 3. 7.
ac i gadw yr hyn a gollasid.
11 ¶ Ac a hwy yn gwrando ar y pethau c Pen. 13. 16.
hyn, efe a chwanegodd, ac a ddywedodd d Mat. 18. 11.
ddammeg, am ei fod efe yn agos i Jerusa-
lem, ac am iddynt dybied yr ymddangosai Edrych Mat. 10. 6. a 15. 24.
teyrnas Dduw yn y fan.
12 e Am hynny y dywedodd efe, Rhyw e Mat. 25. 14.
wr bonheddig a aeth i wlad bell i dderbyn
teyrnas iddo ei hun, ac i ddychwelyd.
13 Ac wedi galw ei ddeg gwas, efe a
roddes iddynt ddeg punt, ac a ddywedodd
wrthynt, Marchnattewch hyd oni ddelwyf.
14 Eithr ei ddinaswŷr a'i casasant ef,
a ddanfonasant gennadwri ar ei ol ef, gan
ddywedyd, Ni fynnwn ni hwn i deyrnasu
arnom.
15 A bu, pan ddaeth efe yn ei ol, wedi
derbyn y deyrnas, erchi o hono ef alw y
gweision hyn atto, i'r rhai y rhoddasai efe
yr arian, fel y gwybyddai beth a elwasai bob
un wrth farchnatta.
16 A daeth y cyntaf, gan ddywedyd, Ar-
glwydd, dy bunt a ynnillodd ddeg punt.
17 Yntau a ddywedodd wrtho, Da, was
da: am i ti fod f yn ffyddlon yn y lleiaf, f Pen. 16. 10.
bydded i ti awdurdod ar ddeg dinas.
18 A'r ail a ddaeth, gan ddywedyd, Ar-
glwydd, dy bunt di a wnaeth bûm punt.
19 Ac efe a ddywedodd hefyd wrth hwn-
nw, Bydd dithau ar bûm dinas.
20 Ac un arall a ddaeth, gan ddywedyd,
Arglwydd, wele dy bunt, yr hon oedd gen-
nyf wedi ei dodi mewn napcyn:
21 Canys mi a'th ofnais, am dy fod yn wr
tost: yr wyt ti yn cymmeryd i fynu y peth
ni roddaist i lawr, ac yn medi y peth ni heu-
aist.
22 Yntau a ddywedodd wrtho, g O'th g 2 Sam. 1. 16.
enau dy hun y'th farnaf, tydi was drwg. Mat. 12. 37.
Ti a wyddit fy mod i yn wr tost, yn cym-

meryd i fynu y peth ni roddais i lawr, ac yn
medi y peth ni heuais:
23 *A* phaham na roddaist fy arian i i'r
bwrdd *cyfnewid,* fel pan ddaethwn y gall-
aswn ei gael gyd â llog?
24 Ac efe a ddywedodd wrth y rhai oedd
yn sefyll ger llaw, Dygwch oddi arno ef y
bunt, a rhoddwch i'r hwn sydd â deg punt
ganddo.
25 (A hwy a ddywedasant wrtho, Ar-
glwydd, y mae ganddo ef ddeg punt)
26 Canys yr wyf fi yn dywedyd i chwi,
h Mat. 13. [h] mai i bob un y mae ganddo, y rhoddir
12. a 25. 29. iddo; eithr oddi ar yr hwn nid oes ganddo,
Marc 4. 25.
Pen. 8. 18. y dygir oddi arno, ïe, yr hyn sydd ganddo.
27 A *hefyd* fy ngelynion hynny, y rhai
ni fynnasent i mi deyrnasu arnynt, dyg-
wch hwynt yma, a lleddwch ger fy
mron i.
28 ¶ Ac wedi iddo ddywedyd y pethau
i Marc 10. hyn, [i] efe a aeth o'r blaen, gan fyned i
32. fynu i Jerusalem.
k Mat. 21. 29 [k] Ac fe a ddigwyddodd pan ddaeth efe
1.
Marc 11. 1. yn agos at Bethphage a Bethania, i'r my-
nydd a elwir Olewŷdd, efe a anfonodd ddau
o'i ddisgyblion,
30 Gan ddywedyd, Ewch i'r pentref ar
*eich* cyfer; yn yr hwn, gwedi eich dyfod i
mewn, chwi a gewch ebol yn rhwym ar yr
hwn nid eisteddodd dyn erioed: gollyngwch
ef, a dygwch yma.
31 Ac os gofyn neb i chwi, Paham yr
ydych yn *ei* ollwng? fel hyn y dywedwch
wrtho, Am fod yn rhaid i'r Arglwydd
wrtho.
32 A'r rhai a ddanfonasid a aethant ym-
aith, ac a gawsant fel y dywedasai efe
wrthynt.
33 Ac fel yr oeddynt yn gollwng yr ebol,
ei berchennogion a ddywedasant wrthynt,
Paham yr ydych yn gollwng yr ebol?
34 A hwy a ddywedasant, Mae yn rhaid
i'r Arglwydd wrtho ef.
35 A hwy a'i dygasant ef at yr Iesu: ac
wedi iddynt fwrw eu dillad ar yr ebol, hwy
a ddodasant yr Iesu arno.
36 Ac fel yr oedd efe yn myned, hwy a
danasant eu dillad ar hŷd y ffordd.
37 Ac weithian, ac efe yn nesâu at ddis-
gynfa mynydd yr Olewŷdd, dechreuodd yr
holl lïaws ddisgyblion lawenhâu, a chlod-
fori Duw â llef uchel, am yr holl weithred-
oedd nerthol a welsent;
l Psal. 118. 38 Gan ddywedyd, [l] Bendigedig *yw* 'r
26. Brenhin sydd yn dyfod yn enw 'r Arglwydd:
m Pen. 2. [m] Tangnefedd yn y nef, a gogoniant yn y
14.
Eph. 2. 14. † goruchaf.
† *gor-* 39 A rhai o'r Phariseaid o'r dyrfa a ddy-
*uchelder.* wedasant wrtho, Athraw, cerydda dy ddis-
gyblion.
40 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, Yr ydwyf yn dywedyd i chwi,
n Hab. 2. Pe tawai y rhai hyn, [n] y llefai 'r cerrig yn
11. y fan.
41 ¶ Ac wedi iddo ddyfod yn agos, *pan*
welodd efe y ddinas, efe a wylodd drosti,
42 Gan ddywedyd, Pe gwybuasit dithau,
ïe, yn dy ddydd hwn, y pethau *a berthynent*
i'th heddwch! eithr y maent yn awr yn
guddiedig oddi wrth dy lygaid.
o 1 Bren. 43 Canys daw y dyddiau arnat, a'th elyn-
9. 7, 8.
Michah 3. ion a fwriant glawdd o'th amgylch, ac
12. a'th amgylchant, ac a'th warchaeant o bob
p Mat. 24. parth;
2.
Marc 13. 2. 44 Ac [o] a'th wnant yn gyd-wastad â'r
Pen. 21. 6. llawr, a'th blant o'th fewn; ac [p] ni adaw-
ant ynot faen ar faen: o herwydd nad ad-
nabuost amser dy ymweliad.
45 ¶ [q] Ac efe a aeth i mewn i'r deml, ac q Mat. 21.
a ddechreuodd fwrw allan y rhai oedd yn 12.
Marc 11.
gwerthu ynddi, ac yn prynu; 11, 15.
46 Gan ddywedyd wrthynt, [r] Y mae yn r Esay 56.
ysgrifenedig, Fy nhŷ i, tŷ gweddi yw: eithr 7.
[s] chwi a'i gwnaethoch yn ogof lladron. s Jer. 7
47 Ac yr oedd efe beunydd yn athraw- 11.
iaethu yn y deml. a'r [t] arch-offeiriaid, a'r t Marc 11.
ysgrifenyddion, a phennaethiaid y bobl, a 18.
geisient ei ddifetha ef; Ioan 7. 19.
a 8. 37.
48 Ac ni fedrasant gael beth a wnaent:
canys yr holl bobl oedd yn glynu wrtho i
wrando arno.

## PEN. XX.

1 *Crist yn profi ei awdurdod, trwy ymofyn am fedydd Ioan.* 9 *Dammeg y winllan.* 19 *Am roddi teyrn-ged i Cesar.* 27 *Y mae efe yn gorchfygu y Saduceaid, y rhai a wadent yr adgyfodiad.* 41 *Y modd y mae Crist yn fab Dafydd.* 45 *Y mae efe yn rhybuddio ei ddisgyblion i ochelyd yr ysgrifenyddion.*

A [a] Digwyddodd ar un o'r dyddiau hyn- 33.
ny, ac efe yn dysgu y bobl yn y deml, a Mat. 21.
ac yn pregethu 'r efengyl, ddyfod arno yr 23.
arch-offeiriaid a'r ysgrifenyddion, gyd â'r
henuriaid,
2 A llefaru wrtho, gan ddywedyd, Dywaid
i ni, [b] Trwy ba awdurdod yr wyt yn gwneu- b Act. 4. 7.
thur y pethau hyn? neu pwy yw yr hwn a a 7. 27.
roddodd i ti yr awdurdod hon?
3 Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrth-
ynt, A minnau a ofynaf i chwithau un gair;
a dywedwch i mi.
4 Bedydd Ioan, ai o'r nef yr ydoedd, ai o
ddynion?
5 Eithr hwy a ymresymmasant yn eu
plith eu hunain, gan ddywedyd, Os dywed-
wn, O'r nef; efe a ddywaid, Paham gan
hynny na chredech ef?
6 Ac os dywedwn, O ddynion; yr holl
bobl a'n llabyddiant ni: canys y maent hwy
yn cwbl-gredu fod Ioan yn brophwyd.
7 A hwy a attebasant, na's gwyddent o
ba le.
8 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Ac nid
wyf finnau yn dywedyd i chwi trwy ba
awdurdod yr wyf yn gwneuthur y pethau
hyn.
9 ¶ Ac efe a ddechreuodd ddywedyd y
ddammeg hon wrth y bobl: [c] Rhyw wr a c Mat. 21.
blannodd winllan, ac a'i gosododd i lafur- 33.
wŷr, ac a aeth oddi cartref dros dalm o Marc 12. 1.
amser.
10 Ac mewn amser efe a anfonodd was at
y llafurwŷr, fel y rhoddent iddo o ffrwyth
y winllan: eithr y llafurwŷr a'i curasant ef,
ac a'i hanfonasant ymaith yn wag-*law*.
11 Ac efe a 'chwanegodd anfon gwas arall:
eithr hwy a gurasant ac a amharchasant
hwnnw hefyd, ac a'i hanfonasant ymaith yn
wag-*law*.
12 Ac efe a 'chwanegodd anfon y trydydd:
a hwy a glwyfasant hwn hefyd, ac a'i bw-
riasant *ef* allan.
13 Yna y dywedodd arglwydd y win-
llan, Pa beth a wnaf? Mi a anfonaf fy
anwyl fab: fe allai pan welant ef, y parch-
ant *ef*.
14 Eithr y llafurwŷr, pan welsant ef, a
ymresymmasant â'u gilydd, gan ddywedyd,
Hwn yw yr etifedd: deuwch, lladdwn
ef, fel y byddo yr etifeddiaeth yn eiddom
ni.

15 A hwy a'i bwriasant ef allan o'r winllan, ac a'i lladdasant. Pa beth gan hynny a wna arglwydd y winllan iddynt hwy?

16 Efe a ddaw ac a ddifetha'r llafurwyr hyn, ac a rydd ei winllan i eraill. A phan glywsant hyn, hwy a ddywedasant, Na atto Duw.

17 Ac efe a edrychodd arnynt, ac a ddywedodd, Beth gan hynny yw hyn a 'sgrifenwyd, d Y maen a wrthododd yr adeiladwyr, hwn a wnaethpwyd yn ben y gongl?

d Psal. 118. 22. Mat. 21. 42.

18 Pwy bynnag a syrthio ar y maen hwnnw, a ddryllir: ac e ar bwy bynnag y syrthio, efe a'i mâl ef.

e Dan. 2. 34, 35. Mat. 21. 44.

19 ¶ A'r arch-offeiriaid a'r ysgrifenyddion a geisiasant roddi dwylaw arno yr awr honno; ac yr oedd arnynt ofn y bobl: canys gwybuant mai yn eu herbyn hwynt y dywedasai efe y ddammeg hon.

20 f A hwy a'i gwyliasant *ef*, ac a yrrasant gynllwynwŷr, y rhai a gymmerent arnynt eu bod yn gyfiawn; fel y dalient ef yn ei ymadrodd, i'w draddodi ym meddiant ac awdurdod y rhaglaw.

f Mat. 22. 15.

21 A hwy a ofynasant iddo ef, gan ddywedyd, g Athraw, ni a wyddom mai uniawn yr ydwyt ti yn dywedyd, ac nad wyt yn derbyn wyneb, eithr yn dysgu ffordd Duw mewn gwirionedd.

g Mat. 22. 16. Marc 12. 15.

22 Ai cyfreithlon i ni roi teyrn-ged i Cesar, ai nid yw?

23 Ac efe a ddeallodd eu cyfrwysdra hwy, ac a ddywedodd wrthynt, Paham y temtiwch fi?

24 Dangoswch i mi geiniog. Llun ac argraph pwy sydd arni? A hwy a attebasant ac a ddywedasant, Yr eiddo Cesar.

25 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Rhoddwch chwithau yr eiddo Cesar i Cesar, a'r eiddo Duw i Dduw.

26 Ac ni allasant feio ar ei eiriau ef ger bron y bobl: a chan ryfeddu wrth ei atteb ef, hwy a dawsant â son.

27 ¶ h A rhai o'r Saduceaid (i y rhai sy yn gwadu nad oes adgyfodiad) a ddaethant atto ef, ac a ofynasant iddo,

h Mat. 22. 23. Marc 12. 18.
i Act. 23. 6, 8.

28 Gan ddywedyd, Athraw, k Moses a 'sgrifenodd i ni, Os byddai farw brawd neb, ac iddo wraig, a marw o hono yn ddi-blant, ar gymmeryd o'i frawd ei wraig ef, a chodi had i'w frawd.

k Deut. 25. 5.

29 Yr oedd gan hynny saith o frodyr: a'r cyntaf a gymmerodd wraig, ac a fu farw yn ddi-blant.

30 A'r ail a gymmerth y wraig, ac a fu farw yn ddi-blant.

31 A'r trydydd a'i cymmerth hi: ac yr un ffunud y saith hefyd, ac ni adawsant blant, ac a fuont feirw.

32 Ac yn ddiweddaf oll bu farw y wraig hefyd.

33 Yn yr adgyfodiad gan hynny gwraig i bwy un o honynt yw hi? canys y saith a'i cawsant hi yn wraig.

34 A'r Iesu gan atteb a ddywedodd wrthynt, Plant y byd hwn sydd yn gwreicca, ac yn gŵra:

35 Eithr y rhai a gyfrifir yn deilwng i gael y byd hwnnw, a'r adgyfodiad oddi wrth y meirw, nid ydynt nac yn gwreicca, nac yn gŵra.

36 Canys ni's gallant farw mwy: oblegid l cyd-stad ydynt â'r angylion; a phlant Duw ydynt, gan eu bod yn blant yr adgyfodiad.

l 1 Ioan 3. 2.

37 Ac y cyfyd y meirw, m Moses hefyd a hyspysodd wrth y berth, pan yw efe yn galw yr Arglwydd yn Dduw Abraham, ac yn Dduw Isaac, ac yn Dduw Jacob.

m Exod. 3. 6.

38 Ac nid yw efe Dduw y meirw, ond y byw: canys n pawb sydd fyw iddo ef.

n Rhuf. 6. 10.

39 Yna rhai o'r ysgrifenyddion gan atteb a ddywedasant, Athraw, da y dywedaist.

40 Ac ni feiddiasant mwyach ofyn dim iddo ef.

41 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthynt, o Pa fodd y maent yn dywedyd fod Crist yn fab i Ddafydd?

o Mat. 22. 42. Marc 12. 35.

42 Ac y mae Dafydd ei hun yn dywedyd yn llyfr y Psalmau, p Yr ARGLWYDD a ddywedodd wrth fy Arglwydd, Eistedd ar fy neheu-law,

p Psal. 110. 1.

43 Hyd oni osodwyf dy elynion yn droedfaingc i'th draed di.

44 Y mae Dafydd gan hynny yn ei alw ef yn Arglwydd; a pha fodd y mae efe yn fab iddo?

45 ¶ q Ac a'r holl bobl yn clywed, efe a ddywedodd wrth ei ddisgyblion,

q Marc 12. 38.

46 r Ymogelwch rhag yr ysgrifenyddion, y rhai a ewyllysiant rodio mewn dillad llaesion, ac a s garant gyfarchiadau yn y marchnadoedd, a'r prif-gadeiriau yn y synagogau, a'r prif-eisteddleoedd yn y gwleddoedd;

r Mat. 23. 5.
s Pen. 11. 43.

47 t Y rhai sydd yn llwyr-fwytta tai gwragedd gweddwon, ac mewn rhith yn hir-weddïo: y rhai hyn a dderbyniant farn fwy.

t Mat. 23. 14.

## PEN. XXI.

1 *Crist yn canmol y weddw dlawd: yn rhagfynegi dinystr y deml, a dinas Jerusalem; 25 a'r arwyddion a fydd o flaen y dydd diweddaf: 34 yn eu hannog hwy i fod yn wyliadwrus. 37 Arfer Crist tra fu yn Jerusalem.*

AC wedi iddo edrych i fynu, efe a a ganfu y rhai goludog yn bwrw eu rhoddion i'r drysorfa. 33.

a Marc 12. 41.

2 Ac efe a ganfu hefyd ryw wraig weddw dlawd yn bwrw yno ddwy † hatling.

† Edrych Marc 12. 42.

3 Ac efe a ddywedodd, Yn wir meddaf i chwi, b fwrw o'r wraig weddw dlawd hon i mewn fwy nâ hwynt oll.

b 2 Cor. 8. 12.

4 Canys y rhai hyn oll o'r hyn oedd weddill ganddynt a fwriasant at offrymmau Duw: eithr hon o'i phrinder a fwriodd i mewn yr holl ‡ fywyd a oedd ganddi.

‡ *gyfoeth.*

5 ¶ c Ac fel yr oedd rhai yn dywedyd am y deml, ei bod hi wedi ei harddu â meini teg a rhoddion, efe a ddywedodd,

c Mat. 24. 1. Marc 13. 1.

6 Y pethau hyn yr ydych yn edrych arnynt, daw y dyddiau yn y rhai d ni adewir maen ar faen, a'r ni's dattodir.

d Pen. 19. 44.

7 A hwy a ofynasant iddo, gan ddywedyd, Athraw, pa bryd gan hynny y bydd y pethau hyn? a pha arwydd *fydd* pan fo'r pethau hyn ar ddyfod?

8 Ac efe a ddywedodd, e Edrychwch na thwyller chwi: canys llawer a ddeuant yn fy enw i, gan ddywedyd, Myfi yw *Crist*; a'r amser a nesaodd: nac ewch gan hynny ar eu hol hwynt.

e Eph. 5. 6. 2 Thess. 2. 3.

9 A phan glywoch son am ryfeloedd a therfysgoedd, na chymmerwch fraw: canys rhaid i'r pethau hyn fod yn gyntaf; ond ni *ddaw* y diwedd yn y man.

10 f Yna y dywedodd efe wrthynt, Cenedl a gyfyd yn erbyn cenedl, a theyrnas yn erbyn teyrnas:

f Mat. 24. 7.

11 A daear-grynfaau mawrion a fyddant yn amryw leoedd, a newyn, a heintiau, a

phethau ofnadwy, ac arwyddion mawrion
a fydd o'r nef.
12 [g] Eithr o flaen hyn oll, hwy a roddant
eu dwylaw arnoch, ac a'*ch* erlidiant, gan
*eich* traddodi i'r synagogau, ac [h] i garchar-
au, [i] wedi eich dwyn ger bron brenhinoedd
a llywodraethwŷr o achos fy enw i.
13 Eithr [k] fe a ddigwydd i chwi yn dyst-
iolaeth.
14 [l] Am hynny † rhoddwch eich bryd ar
na rag-fyfyrioch beth a atteboch.
15 Canys myfi a roddaf i chwi enau a
doethineb, [m] yr hon ni's gall eich holl wrth-
wynebwŷr na dywedyd yn ei herbyn, na'i
gwrth-sefyll.
16 [n] A chwi a fradychir, ïe, gan rïeni, a
brodyr, a cheraint, a chyfeillion; ac [o] i *rai*
o honoch y parant farwolaeth.
17 A [p] chas fyddwch gan bawb o herwydd
fy enw i.
18 [q] Ond ni chyll blewyn o'ch pen chwi.
19 Yn eich amynedd meddiennwch eich
eneidiau.
20 [r] A phan weloch Jerusalem wedi ei
hamgylchu gan luoedd, yna gwybydd-
wch fod ei hanghyfannedd-dra hi wedi
nesâu.
21 Yna y rhai fyddant yn Judea, ffoant
i'r mynyddoedd; a'r rhai a fyddant yn ei
chanol hi, ymadawant: a'r rhai a fydd-
ant yn y meusydd, nac elont i mewn
iddi.
22 Canys dyddiau dïal yw y rhai hyn, [s] i
gyflawni'r holl bethau a 'sgrifenwyd.
23 Eithr gwae y rhai beichiogion, a'r
rhai yn rhoi bronnau, yn y dyddiau hynny:
canys bydd angen mawr yn y tir, a digo-
faint ar y bobl hyn.
24 A hwy a syrthiant trwy fin y cleddyf, a
chaeth-gludir hwynt at bob cenhedlaeth: a
Jerusalem a fydd wedi ei mathru gan y Cen-
hedloedd, [t] hyd oni chyflawner amser y
Cenhedloedd.
25 ¶ A [u] bydd arwyddion yn yr haul, a'r
lleuad, a'r ser; ac ar y ddaear ing cenhedl-
oedd, gan gyfyng-gyngor; a'r môr a'r ton-
nau yn rhuo;
26 A dynion yn llewygu gan ofn, a
disgwyl am y pethau sy yn dyfod ar y
ddaear: oblegid nerthoedd y nefoedd a
ysgydwir.
27 Ac yna y gwelant Fab y dyn [x] yn dy-
fod mewn cwmmwl, gyd â gallu a gogon-
iant mawr.
28 A phan ddechreuo'r pethau hyn ddy-
fod, edrychwch i fynu, a chodwch eich
pennau: canys [y] y mae eich ymwared yn
nesâu.
29 [z] Ac efe a ddywedodd ddammeg idd-
ynt; Edrychwch ar y ffigysbren, a'r holl bre-
niau;
30 Pan ddeiliant hwy weithian, chwi a
welwch ac a wyddoch o honoch eich hun,
fod yr haf yn agos.
31 Felly chwithau, pan weloch y pethau
hyn yn digwydd, gwybyddwch fod teyrnas
Dduw yn agos.
32 Yn wir meddaf i chwi, Nid â yr oes
hon heibio, hyd oni ddêl y cwbl i ben.
33 [a] Y nef a'r ddaear a ant heibio; ond
fy ngeiriau i nid ant heibio ddim.
34 ¶ Ac [b] edrychwch arnoch eich hun-
ain, rhag i'ch calonnau un amser drymhâu
trwy lythineb a meddwdod, a gofalon y by-
wyd hwn, a dyfod y dydd hwnnw arnoch yn
ddisymmwth.

[g] Marc 13. 9. Dat. 2. 10. [h] Act. 4. 3. a 5. 18. a 12. 4. a 16. 24. [i] Act. 25. 23. [k] Phil. 1. 28. 2 Thess. 1. 5. [l] Mat. 10. 19. Marc 13. 11. Pen. 12. 11. † *gosodwch yn eich calonnau, na, &c.* [m] Act. 6. 10. [n] Michah 7. 6. [o] Act. 7. 59. a 12. 2. [p] Mat. 10. 22. [q] Mat. 10. 30. [r] Mat. 24. 15. Marc 13. 14. [s] Dan. 9. 26, 27. a 12. 7. Zech. 11. 1. [t] Rhuf. 11. 25. [u] Act. 2. 20. 2 Petr 3. 10, 12. [x] Dat. 1. 7. a 14. 14. [y] Rhuf. 8. 19, 23. [z] Mat. 24. 32. Marc 13. 28. [a] Mat. 24. 35. [b] Rhuf. 13. 13. 1 Thess. 5. 6. 1 Petr 4. 7.

35 Canys [c] efe a ddaw fel magl, ar warth-
af pawb oll a'r sydd yn trigo ar wyneb yr
holl ddaear.
36 [d] Gwyliwch gan hynny a [e] gwe-
ddiwch bob amser, ar gael eich cyfrif yn
deilwng i ddiangc rhag y pethau hyn oll
sydd ar ddyfod, ac [f] i sefyll ger bron Mab y
dyn.
37 [g] A'r dydd yr ydoedd efe yn athraw-
iaethu yn y deml; a'r [h] nos yr oedd efe yn
myned ac yn aros yn y mynydd a elwid yr
Olewŷdd.
38 A'r holl bobl a fore-gyrchent atto ef yn
y deml, i'w glywed ef.

## PEN. XXII.

*1 Yr Iuddewon yn cyd-fwriadu yn erbyn Crist. 3 Satan yn parottôi Judas i'w fradychu ef. 7 Yr apostolion yn arlwyo'r pasg. 19 Crist yn ordeinio ei swpper sanctaidd: 21 yn guddiedig yn rhag-ddywedyd am y bradychwr: 24 yn annog y rhan arall o'i apostolion i ochelyd rhyfyg: 32 yn sicrhâu Petr na phallai ei ffydd ef: 34 ac er hynny y gwadai efe ef dair gwaith: 39 yn gweddïo yn y mynydd; ac yn chwysu'r gwaed: 47 yn cael ei fradychu â chusan: 50 yn iachâu clust Malchus: 54 yn cael ei wadu dair gwaith gan Petr, 63 a'i ammherchi yn gywilyddus; 66 ac yn cyfaddef ei fod yn Fab Duw.*

A [a] Nesaodd gwyl y bara croyw, yr hon a 33.
elwir y pasg.
2 A'r [b] arch-offeiriaid a'r ysgrifenyddion
a geisiasant pa fodd y difethent ef: oblegid
yr oedd arnynt ofn y bobl.
3 ¶ [c] A Satan a aeth i mewn i Judas, yr
hwn a gyfenwid Iscariot, yr hwn oedd o ri-
fedi'r deuddeg.
4 Ac efe a aeth ymaith, ac a ymddiddan-
odd â'r arch-offeiriaid a'r † blaenoriaid, pa
fodd y bradychai efe ef iddynt.
5 Ac yr oedd yn llawen ganddynt: a hwy
a gyttunasant ar roddi arian iddo.
6 Ac efe a addawodd, ac a geisiodd amser
cyfaddas i'w fradychu ef iddynt ‡ yn absen
y § bobl.
7 ¶ [d] A daeth dydd y bara croyw, ar yr
hwn yr oedd rhaid lladd y pasg.
8 Ac efe a anfonodd Petr ac Ioan, gan
ddywedyd, Ewch, parottôwch i ni'r pasg,
fel y bwyttaom.
9 A hwy a ddywedasant wrtho, Pa le y
mynni barottôi o honom?
10 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Wele,
pan ddeloch i mewn i'r ddinas, cyferfydd â
chwi ddyn yn dwyn ystenaid o ddwfr: can-
lynwch ef i'r tŷ lle yr êl efe i mewn.
11 A dywedwch wrth wr y tŷ, Y mae'r
Athraw yn dywedyd wrthyt, Pa le y mae'r
lletty, lle y gallwyf fwytta'r pasg gyd â'm
disgyblion?
12 Ac efe a ddengys i chwi oruwch-ysta-
fell fawr, wedi ei thanu: yno parottôwch.
13 A hwy a aethant, ac a gawsant fel y
dywedasai efe wrthynt; ac a barottoisant y
pasg.
14 [e] A phan ddaeth yr awr, efe a eistedd-
odd i lawr, a'r deuddeg apostol gyd ag
ef.
15 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Mi ‖ a
chwennychais yn fawr fwytta'r pasg hwn
gyd â chwi cyn dïoddef o honof.
16 Canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi,
Ni fwyttâf fi mwyach o hono, [f] hyd oni
chyflawner yn nheyrnas Dduw

[c] 1 Thess. 5. 1. 2 Petr 3. 10. Dat. 3. 3. a 16. 15. [d] Mat. 24. 42. Marc 13. 33. [e] Pen. 18. 1. [f] Psal. 1. 5. Eph. 6. 13. [g] Ioan 8. 1, 2. [h] Pen. 22. 39. [a] Mat. 26. 2. Marc 14. 1. [b] Psal. 2. 2. Ioan 11. 47. Act. 4. 27. [c] Mat. 26. 14. Ioan 13. 2, 27. † *capteniaid.* ‡ *heb gythrwfl.* § *dyrfa.* [d] Mat. 26. 17. Marc 14. 12. [e] Mat. 26. 20. Marc 14. 17. ‖ *gan chwennych a chwennychais, &c.* [f] Pen. 14. 15. Dat. 19. 9.

17 Ac wedi iddo gymmeryd y cwppan,
a rhoddi diolch, efe a ddywedodd, Cym-
merwch hwn, a rhennwch yn eich plith:
18 Canys g yr ydwyf yn dywedyd i chwi,
nad yfaf o ffrwyth y winwŷdden, hyd oni
ddêl teyrnas Duw.
19 ¶ h Ac wedi iddo gymmeryd bara, a
rhoi diolch, efe a'i torrodd, ac a'i rhoddes
iddynt, gan ddywedyd, Hwn yw fy nghorph
yr hwn yr ydys yn ei roddi drosoch: gw-
newch hyn er coffa am danaf.
20 Yr un modd y cwppan hefyd wedi
swpperu, gan ddywedyd, Y cwppan hwn
*yw*'r testament newydd yn fy ngwaed i, yr
hwn yr ydys yn ei dywallt drosoch.
21 ¶ i Eithr wele law'r hwn sydd yn fy
mradychu gyd â mi ar y bwrdd.
22 Ac yn wir y mae Mab y dyn yn
myned, k megis y mae wedi ei luniaethu:
eithr gwae'r dyn hwnnw trwy'r hwn y
bradychir ef.
23 Hwythau a ddechreuasant ymofyn yn
eu plith eu hunain, pwy o honynt oedd yr
hwn a wnae hynny.
24 ¶ A bu ymryson yn eu plith, pwy o
honynt a dybygid ei fod yn fwyaf.
25 l Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y mae
brenhinoedd y Cenhedloedd yn arglwydd-
iaethu arnynt; a'r rhai sy mewn awdurdod
arnynt, a elwir yn bendefigion.
26 m Ond na *fyddwch* chwi felly: n eithr
y mwyaf yn eich plith chwi, bydded megis
yr ieuangaf; a'r pennaf, megis yr hwn sydd
yn gweini.
27 Canys pa un fwyaf, ai'r hwn sydd yn
eistedd ar y bwrdd, ai'r hwn sydd yn
gwasanaethu? onid yr hwn sydd yn eistedd
ar y bwrdd? eithr o yr ydwyf fi yn eich
mysg fel un yn gwasanaethu.
28 A chwychwi yw y rhai a arhosasoch gyd
â mi yn p fy mhrofedigaethau.
29 Ac q yr wyf fi yn ordeinio i chwi deyrn-
as, megis yr ordeiniodd fy Nhad i minnau;
30 Fel r y bwyttaoch ac yr yfoch ar fy
mwrdd i yn fy nheyrnas, s ac yr eisteddoch
ar orseddfeydd, yn barnu deuddeg llwyth
Israel.
31 ¶ A'r Arglwydd a ddywedodd, Si-
mon, Simon, wele, t Satan a'ch ceisiodd
chwi, i'*ch* nithio fel gwenith:
32 Eithr mi a weddïais drosot, na ddiffyg-
iai dy ffydd di: u tithau pan y'th droër,
cadarnhâ dy frodyr.
33 Ac efe a ddywedodd wrtho, Arglwydd,
yr ydwyf fi yn barod i fyned gyd â thi i
garchar, ac i angau.
34 x Yntau a ddywedodd, Yr wyf yn
dywedyd i ti, Petr, Na chân y ceiliog
heddyw, nes i ti wadu dair gwaith yr
adweini fi.
35 Ac efe a ddywedodd wrthynt, y Pan
y'ch anfonais heb na phwrs, na chod, nac
esgidiau, a fu arnoch eisiau dim? A hwy
a ddywedasant, Na ddo ddim.
36 Yna y dywedodd wrthynt, Ond yn
awr y neb sydd ganddo bwrs, cymmered;
a'r un modd god: a'r neb nid oes ganddo,
gwerthed ei bais, a phryned gleddyf.
37 Canys yr wyf yn dywedyd i chwi, Fod
yn rhaid etto gyflawni ynof fi y peth hwn a
'sgrifenwyd; *sef*, z A chyd â'r anwir y cy-
frifwyd ef. Canys y mae diben i'r pethau
am danaf fi.
38 A hwy a ddywedasant, Arglwydd,
wele ddau gleddyf yma. Ac efe a ddy-
wedodd wrthynt, Digon yw.

g Mat. 26. 29. Marc 14. 25. h Mat. 26. 26. Marc 14. 22. 1 Cor. 11. 23. i Psal. 41. 9. Mat. 26. 21, 23. Marc 14. 18. Ioan 13. 21, 26. k Act. 2. 23. a 4. 28. l Mat. 20. 25. Marc 10. 42. m 1 Petr 5. 3. n Pen. 9. 48. o Mat. 20. 28. Ioan 13. 13, 14. Phil. 2. 7. p Heb. 4. 15. q Mat. 24. 47. Pen. 12. 32. r Mat. 8. 11. Pen. 14. 15. Dat. 19. 9. s Psal. 49. 14. Mat. 19. 28. Dat. 3. 21. t 1 Petr 5. 8. u Ioan 21. 15, 16, 17. x Mat. 26. 34. Marc 14. 30. Ioan 13. 38. y Mat. 10. 9. Pen. 9. 3. a 10. 4. z Esay 53. 12. Marc 15. 28.

39 ¶ a Ac wedi iddo fyned allan, b efe a
aeth, yn ol ei arfer, i fynydd yr Olewŷdd;
a'i ddisgyblion hefyd a'i canlynasant ef.
40 c A phan ddaeth efe i'r man, efe a
ddywedodd wrthynt, Gweddïwch nad eloch
mewn profedigaeth.
41 d Ac efe a dynnodd oddi wrthynt tu
ag ergyd carreg; ac wedi iddo fyned ar ei
liniau, efe a weddïodd,
42 Gan ddywedyd, O Dad, os ewyllysi
† droi heibio y cwppan hwn oddi wrthyf: er
hynny e nid fy ewyllys i, ond yr eiddot ti a
wneler.
43 Ac angel o'r nef a ymddangosodd
iddo, yn ei nerthu ef.
44 f Ac efe mewn ymdrech meddwl, a
weddïodd yn ddyfalach: a'i chwŷs ef
oedd fel defnynau gwaed yn disgyn ar y
ddaear.
45 A phan gododd efe o'i weddi, a dyfod
at ei ddisgyblion, efe a'u cafodd hwynt yn
cysgu gan dristwch;
46 Ac a ddywedodd wrthynt, Paham yr
ydych yn cysgu? codwch, a g gweddïwch
nad eloch mewn profedigaeth.
47 ¶ Ac efe etto yn llefaru, h wele dyrfa;
a hwn a elwir Judas, un o'r deuddeg, oedd
yn myned o'u blaen hwynt, ac a nesaodd at
yr Iesu, i'w gusanu ef.
48 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Judas, ai
â chusan yr wyt ti yn bradychu Mab y dyn?
49 A phan welodd y rhai oedd yn ei
gylch ef y peth oedd ar ddyfod, hwy a ddy-
wedasant wrtho, Arglwydd, a darâwn ni â
chleddyf?
50 ¶ A i rhyw un o honynt a darawodd
was yr arch-offeiriad, ac a dorrodd ymaith
ei glust ddehau ef.
51 A'r Iesu a attebodd ac a ddywedodd,
Goddefwch hyd yn hyn. Ac efe a gyffyrdd-
odd â'i glust, ac a'i hiachaodd ef.
52 k A'r Iesu a ddywedodd wrth yr
arch-offeiriaid, a ‡ blaenoriaid y deml, a'r
henuriaid, y rhai a ddaethent atto, Ai fel at
leidr y daethoch chwi allan, â chleddyfau
ac â ffyn?
53 Pan oeddwn beunydd gyd â chwi yn
y deml, nid estynasoch ddwylaw i'm her-
byn: eithr hon yw eich awr chwi, a gallu'r
tywyllwch.
54 ¶ l A hwy a'i daliasant ef, ac a'i har-
weiniasant, ac a'i dygasant i mewn i dŷ'r
arch-offeiriad. A Phetr a ganlynodd o
hirbell.
55 m Ac wedi iddynt gynneu tân yng-
hanol y neuadd, a chyd-eistedd o honynt,
eisteddodd Petr yntau yn eu plith hwynt.
56 A phan ganfu rhyw langces ef yn ei-
stedd wrth y tân, a dal sulw arno, hi a ddy-
wedodd, Yr oedd hwn hefyd gyd ag ef.
57 Yntau a'i gwadodd ef, gan ddywedyd,
O wraig, nid adwaen i ef.
58 Ac ychydig wedi, un arall a'i gwelodd
ef, ac a ddywedodd, Yr wyt tithau hefyd
*yn un* o honynt. A Phetr a ddywedodd, O
ddyn, nid ydwyf.
59 Ac ar ol megis yspaid un awr, rhyw
un arall a daerodd, gan ddywedyd, Mewn
gwirionedd yr oedd hwn hefyd gyd ag ef:
canys Galilead yw.
60 A Phetr a ddywedodd, Y dyn, ni's
gwn beth yr wyt yn ei ddywedyd. Ac yn
y man, ac efe etto yn llefaru, canodd y
ceiliog.
61 A'r Arglwydd a drodd, ac a edrych-
odd ar Petr. A Phetr a gofiodd ymadrodd

a Mat. 26. 36. Marc 14. 32. Ioan 18. 1. b Pen. 21. 37. c Mat. 26. 41. Marc 14. 38. Adn. 46. d Mat. 26. 39. † *tro.* e Ioan 6. 38. f Ioan 12. 27. Heb. 5. 7. g Adn. 40. h Mat. 26. 47. Marc 14. 43. Ioan 18. 3. i Mat. 26. 51. Marc 14. 47. Ioan 18. 10. k Mat. 26. 55. Marc 14. 48. ‡ *chap-teniaid.* l Mat. 26. 57. m Mat. 26. 69. Marc 14. 66.

yr Arglwydd, fel y dywedasai efe wrtho,
n Mat. 26. 34, 75. n Cyn canu o'r ceiliog, y gwedi fi deirgwaith.
62 A Phetr a aeth allan, ac a wylodd yn chwerw-dost.
o Mat 26. 67. 63 ¶ o A'r gwŷr oedd yn dal yr Iesu, a'i gwatwarasant ef, gan ei daro.
64 Ac wedi iddynt guddio ei lygaid ef, hwy a'i tarawsant ef ar ei wyneb, ac a ofynasant iddo, gan ddywedyd, Prophwyda, pwy yw'r hwn a'th darawodd di?
65 A llawer o bethau eraill, gan gablu, a ddywedasant yn ei erbyn ef.
p Mat. 27. 1. 66 ¶ p A phan aeth hi yn ddydd, ymgynhullodd henuriaid y bobl, a'r arch-offeiriaid, a'r ysgrifenyddion, ac a'i dygasant ef i'w
† senedd-dy. † cynghor hwynt,
‡ O ti yw Crist. 67 Gan ddywedyd, ‡ Ai ti yw Crist? dywaid i ni. Ac efe a ddywedodd wrthynt, Os dywedaf i chwi, ni chredwch ddim:
68 Ac os gofynaf hefyd *i chwi*, ni'm hatebwch, ac ni'm gollyngwch ymaith.
q Mat. 26. 64. Heb. 1. 3. a 8. 1. 69 q Ar ol hyn y bydd Mab y dyn yn eistedd ar ddeheu-law gallu Duw.
70 A hwy oll a ddywedasant, Ai Mab Duw gan hynny ydwyt ti? Ac efe a ddy-
r Marc 14. 62. wedodd wrthynt, r Yr ydych chwi yn dywedyd fy mod.
71 Hwythau a ddywedasant, Pa raid i ni mwyach wrth dystiolaeth? canys clywsom ein hunain o'i enau ef ei hun.

## PEN. XXIII.

*1 Cyhuddo'r Iesu ger bron Pilat, a'i anfon at Herod; 8 a Herod yn ei watwar ef. 12 Herod a Philat yn cymmodi â'u gilydd. 18 Y bobl yn deisyf cael Barabbas; a Philat yn ei ollwng ef iddynt, ac yn rhoddi'r Iesu i'w groes-hoelio. 27 Yntau yn mynegi i'r gwragedd, a alarent o'i blegid ef, ddinystr Jerusalem: 34 yn gweddio tros ei elynion. 39 Crogi dau ddrwg-weithredwŷr gyd ag ef. 46 Ei farwolaeth, 50 a'i gladdedigaeth ef.*

39.
a Mat. 27. 2. A'R a holl liaws o honynt a gyfodasant, ac a'i dygasant ef at Pilat:
Marc 15. 1. Ioan 18. 28. 2 Ac a ddechreuasant ei gyhuddo ef, gan ddywedyd, Ni a gawsom hwn b yn gŵyr-
b Act. 17. 7. droi'r bobl, ac c yn gwahardd rhoi teyrnged i Cesar, gan ddywedyd mai efe ei hun yw
c [illegible] Crist Frenhin.
d Mat. 27. 11. Marc 15. 2. Ioan 18. 33. 3 A d Philat a ofynodd iddo, gan ddywedyd, Ai ti yw Brenhin yr Iuddewon? Ac efe a attebodd iddo, ac a ddywedodd, Yr wyt ti yn dywedyd.
† achos yn. 4 A dywedodd Pilat wrth yr arch-offeiriaid a'r bobl, Nid wyf fi yn cael dim † bai ar y dyn hwn.
5 A hwy a fuant daerach, gan ddywedyd, Y mae efe yn cyffroi'r bobl, gan ddysgu trwy holl Judea, wedi dechreu o Galilea hyd yma.
6 A phan glybu Pilat son am Galilea, efe a ofynodd ai Galilead oedd y dyn.
7 A phan wybu efe ei fod ef o lywod-
e Pen. 3. 1. raeth e Herod, efe a'i hanfonodd ef at Herod, yr hwn oedd yntau yn Jerusalem y dyddiau hynny.
8 ¶ A Herod, pan welodd yr Iesu, a
f Pen. 9. 7. lawenychodd yn fawr: canys f yr oedd efe yn chwennych er ys talm ei weled ef;
g Mat. 14. 1. Marc 6. 14. oblegid g iddo glywed llawer am dano ef; ac yr ydoedd yn gobeithio cael gweled gwneuthur rhyw arwydd ganddo ef.
9 Ac efe a'i holodd ef mewn llawer o eiriau, eithr efe nid attebodd ddim iddo.
10 A'r arch-offeiriaid a'r ysgrifenyddion a safasant, gan ei gyhuddo ef yn haerllug.

11 A Herod a'i filwŷr, wedi iddo ei ddiystyru ef, a'i watwar, a'i wisgo â gwisg glaerwen, a'i danfonodd ef drachefn at Pilat.
12 ¶ A'r dwthwn hwnnw yr ‡ aeth ‡ *aeth*
h Pilat a Herod yn gyfeillion: canys yr *cymmod*
oeddynt o'r blaen mewn gelyniaeth â'u *rhwng*
gilydd. *Pilat a Herod.*
13 ¶ i A Philat, wedi galw yng-hŷd yr i Act. 4. 27.
arch-offeiriaid, a'r llywiawdwŷr, a'r bobl,
14 A ddywedodd wrthynt, Chwi a ddyg- k Mat. 27 23.
asoch y dyn hwn attaf fi, fel un a fyddai yn Marc 15. 14.
gŵyr-droi'r bobl: ac wele, myfi a'i holais Ioan 18. 38.
ef yn eich gŵydd chwi, ac ni chefais yn y a 19. 4.
dyn hwn ddim § bai, o ran y pethau yr § *achos.*
ydych chwi yn ei gyhuddo ef am danynt:
15 Na Herod chwaith: canys anfonais chwi atto ef; ac wele, dim yn haeddu marwolaeth ni's gwnaed iddo.
16 k Am hynny mi a'i ceryddaf ef, ac a'i k Mat. 27. 26.
gollyngaf ymaith. Ioan 19. 1.
17 l Canys yr ydoedd yn rhaid iddo oll- l Mat. 27. 15.
wng un yn rhŷdd iddynt ar yr wyl.
18 m A'r holl liaws a lefasant ar unwaith, Marc 15. 6.
gan ddywedyd, Bwrw hwn ymaith, a gollwng Ioan 18. 39.
i ni Barabbas yn rhŷdd: m Act. 3. 14.
19 (Yr hwn, am ryw derfysg a wnaethid yn y ddinas, a llofruddiaeth, oedd wedi ei daflu i garchar)
20 Am hynny Pilat a ddywedodd wrthynt drachefn, gan ewyllysio gollwng yr Iesu yn rhŷdd.
21 Eithr hwy a lefasant arno, gan ddywedyd, Croes-hoelia, croes-hoelia ef.
22 Ac efe a ddywedodd wrthynt y drydedd waith, Canys pa ddrwg a wnaeth efe? ni chefais i ddim achos marwolaeth ynddo; am hynny mi a'i ceryddaf ef, ac a'i gollyngaf yn rhŷdd.
23 ‖ Hwythau a fuont daerion â llefau ‖ *A hwy*
uchel, gan ddeisyfu ei groes-hoelio ef. A'u *a bwysasant*
llefau hwynt, a'r arch-offeiriaid, a orfuant. *arno.*
24 n A Philat a † farnodd wneuthur eu n Mat. 27. 26.
deisyfiad hwynt.
25 Ac efe a ollyngodd yn rhŷdd iddynt Marc 15. 15.
yr hwn am derfysg a llofruddiaeth a fwria- Ioan 19. 16.
sid yngharchar, yr hwn a ofynasant: eithr † *gyttun-*
yr Iesu a draddododd efe i'w hewyllys *odd.*
hwynt.
26 o Ac fel yr oeddynt yn ei arwain ef o Mat. 27. 32.
ymaith, hwy a ddaliasant un Simon o Marc 15.
Cyrene, yn dyfod o'r wlad, ac a ddodasant 21.
y groes arno ef, i'w dwyn ar ol yr Iesu.
27 ¶ Ac yr oedd yn ei ganlyn ef liaws mawr o bobl, ac o wragedd; y rhai hefyd oedd yn cwynfan, ac yn galaru o'i blegid ef.
28 A'r Iesu, wedi troi attynt, a ddywedodd, Merched Jerusalem, na wylwch o'm plegid i: eithr wylwch o'ch plegid eich hunain, ac oblegid eich plant.
29 Canys wele, y mae'r dyddiau yn dyfod, p Esay 2. 19.
yn y rhai y dywedant, Gwyn eu byd y rhai Hos. 10. 8.
ammhlantadwy, a'r crothau ni eppiliasant, Dat. 6. 16.
a'r bronnau ni roisant sugn. a 9. 6.
30 p Yna y dechreuant ddywedyd wrth q Jer. 25.
y mynyddoedd, Syrthiwch arnom; ac wrth 29.
y bryniau, Cuddiwch ni. 1 Petr 4. 17.
31 q Canys os gwnant hyn yn y pren îr, r Esay 53.
pa beth a wneir yn y crin? 12.
32 r Ac arweiniwyd gyd ag ef hefyd Mat. 27. 38.
ddau ddrwg-weithredwŷr eraill, i'w rhoi i'w s Mat. 27.
marwolaeth. 33.
33 A s phan ddaethant i'r lle a elwir Marc 15. 22.
‡ Caltaria, yno y croes-hoeliasant ef, a'r Ioan 19. 17, 18.
drwg-weithredwŷr; un ar y llaw ddehau, a'r ‡ *Lle'r*
llall ar yr aswy. *ben-glog.*

34 ¶ A'r Iesu a ddywedodd, O Dad,
t Act. 7. 60. 1 Cor. 4. 12. t maddeu iddynt: canys u ni wyddant pa
beth y maent yn ei wneuthur. A x hwy
a rannasant ei ddillad ef, ac a fwriasant
u Act. 3. 17. goelbren.
x Mat. 27. 35. Marc 15. 24. Ioan 19. 23. 35 A'r y bobl a safodd yn edrych. z A'r
pennaethiaid hefyd gyd â hwynt a watwar-
asant, gan ddywedyd, Eraill a waredodd
efe; gwareded ef ei hun, os hwn yw Crist,
y Psal. 22. 17. etholedig Duw.
36 A'r milwŷr hefyd a'i gwatwarasant ef,
Zech. 12. 10. gan ddyfod atto, a chynnyg iddo finegr,
z Mat. 27. 39. 37 A dywedyd, Os tydi yw Brenhin yr
Iuddewon, gwared dy hun.
a Mat. 27. 37. Marc 15. 26. 38 a Ac yr ydoedd hefyd † arsgrifen wedi
ei 'sgrifenu uwch ei ben ef, â llythyrenau
Groeg, a Lladin, ac Hebraeg, HWN YW
Ioan 19. 19. BRENHIN YR IUDDEWON.
† dill. 39 ¶ Ac un o'r drwg-weithredwŷr a
grogasid a'i cablodd ef, gan ddywedyd, Os
tydi yw Crist, gwared dy hun a ninnau.
40 Eithr y llall a attebodd, ac a'i cerydd-
odd ef, gan ddywedyd, Onid wyt ti yn ofni
‡ farnedigaeth. Duw, gan dy fod dan yr un ‡ ddamnediga-
eth?
41 A nyni yn wir yn gyfiawn; canys yr
ydym yn derbyn yr hyn a haeddai y pethau
a wnaethom: eithr hwn ni wnaeth ddim al-
lan o'i le.
42 Ac efe a ddywedodd wrth yr Iesu,
Arglwydd, cofia fi pan ddelych i'th deyrn-
as.
43 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Yn wir
meddaf i ti, Heddyw y byddi gyd â mi ym
mharadwys.
b Mat. 27. 45. Marc 15. 33. 44 b Ac yr ydoedd hi ynghylch y chweched
ed awr, a thywyllwch a fu ar yr holl
§ ddaear hyd y nawfed awr.
§ dir. 45 A'r haul a dywyllwyd, a c llen y deml
c Mat. 27. 51. Marc 15. 38. a rwygwyd yn ei chanol.
46 ¶ A'r Iesu, gan lefain â llef uchel, a
ddywedodd, d O Dad, i'th ddwylaw di y
d Psal. 31. 5. gorchymynaf fy yspryd. e Ac wedi iddo
ddywedyd hyn, efe a drengodd.
e Mat. 27. 50. Marc 15. 37. Ioan 19. 30. 47 f A'r canwriad, pan welodd y peth a
wnaethpwyd, a ogoneddodd Dduw, gan
ddywedyd, Yn wir yr oedd hwn yn wr cy-
fiawn.
f Mat. 27. 54. Marc 15. 39. 48 A'r holl bobloedd y rhai a ddaethant
ynghŷd i edrych hyn, wrth weled y pethau
a wnaethpwyd, a ddychwelasant, gan guro
eu dwyfronnau.
49 A'i holl gydnabod ef a safasant o hir-
bell, a'r gwragedd y rhai a'i canlynasent ef
o Galilea, yn edrych ar y pethau hyn.
g Mat. 27. 57. Marc 15. 43. Ioan 19. 38. 50 ¶ g Ac wele, gwr a'i enw Joseph, yr
hwn oedd gynghorwr, gwr da a chyfiawn:
51 (Hwn ni chyttunasai â'u cynghor ac
â'u gweithred hwynt) o Arimathea, dinas yr
h Marc 15. 43. Pen. 2. 25, 38. Iuddewon (h yr hwn oedd yntau yn disgwyl
hefyd am deyrnas Dduw)
52 Hwn a ddaeth at Pilat, ac a ofynodd
gorph yr Iesu.
53 Ac efe a'i tynnodd i lawr, ac a'i ham-
dododd mewn lliain main, ac a'i rhoddes
mewn bedd wedi ei naddu mewn carreg, yn
|| neb. yr hwn ni roddasid || dyn erioed.
i Mat. 27. 62. 54 A'r dydd hwnnw oedd i ddarpar-wyl,
a'r sabbath oedd yn nesâu.
k Pen. 8. 2. 55 A'r gwragedd hefyd, k y rhai a ddaeth-
ent gyd ag ef o Galilea, a ganlynasant, ac a
welsant y bedd, a pha fodd y dodwyd ei
gorph ef.
56 A hwy a ddychwelasant, ac a barottoi-
l Exod. 20. 10. sant bêr-aroglau ac ennaint; ac a orphwys-
asant ar y sabbath, l yn ol y gorchymyn.

## PEN. XXIV.

1 *Y ddau angel yn mynegi adgyfodiad Crist i'r gwragedd oedd yn dyfod at y bedd; 9 a'r rhai hynny yn ei adrodd i eraill. 13 Crist ei hun yn ymddangos i'r ddau ddisgybl oedd yn myned i Emmaus: 36 ac wedi hynny i'r apostolion; ac yn ceryddu eu hanghrediniaeth hwy: 47 yn rhoddi gorchymyn iddynt: 49 ac yn addaw yr Yspryd Glân: 51 ac felly yn esgyn i'r nefoedd.*

A'R a dydd cyntaf o'r wythnos, ar y cyn- 33.
ddydd, hwy a ddaethant at y bedd, gan a Mat. 28. 1.
ddwyn y per-aroglau a barottoisent, a rhai Marc 16. 1.
gyd â hwynt. Ioan 20. 1.
2 A hwy a gawsant y maen wedi ei dreig-
lo ymaith oddi wrth y bedd.
3 Ac wedi iddynt fyned i mewn, ni
chawsant gorph yr Arglwydd Iesu.
4 A bu, a hwy yn petruso am y peth hyn,
wele, dau wr a safodd yn eu hymyl mewn
gwisgoedd disglair.
5 Ac wedi iddynt ofni, a gostwng *eu*
hwynebau tu a'r ddaear, hwy a ddywed-
asant wrthynt, Paham yr ydych yn ceisio
† y byw ym mysg y meirw? † *yr hwn*
6 Nid yw efe yma, ond efe a gyfododd. *sy'n fyw,*
b Cofiwch pa fodd y dywedodd wrthych, ac &c.
efe etto yn Galilea, b Mat. 16. 21. a 17. 22.
7 Gan ddywedyd, Rhaid yw rhoi Mab y Marc 9. 31.
dyn yn nwylaw dynion pechadurus, a'i Pen. 9. 22.
groes-hoelio, a'r trydydd dydd adgyfodi. c Ioan 2. 22.
8 A c hwy a gofiasant ei eiriau ef;
9 d Ac a ddychwelasant oddi wrth y d Mat. 28. 8.
bedd, ac a fynegasant hyn oll i'r un ar Marc 16.
ddeg, ac i'r lleill oll. 10.
10 A Mair Magdalen, a e Joanna, a Mair e Pen. 8. 3.
*mam* Iago, a'r lleill gyd â hwynt, oedd y
rhai a ddywedasant y pethau hyn wrth yr
apostolion.
11 A'u geiriau a welid yn eu golwg hwynt
fel gwegi, ac ni chredasant iddynt.
12 f Eithr Petr a gododd i fynu, ac a f Ioan 20. 3, 6.
redodd at y bedd; ac wedi ymgrymmu, efe a
ganfu y llieiniau wedi eu gosod o'r neilldu;
ac a aeth ymaith, gan ryfeddu rhyngddo
ac ef ei hun am y peth a ddarfuasai.
13 ¶ g Ac wele, dau o honynt oedd yn g Marc 16. 12.
myned y dydd hwnnw i dref a'i henw Em-
maus, yr hon oedd ynghylch trugain ystâd
oddi wrth Jerusalem.
14 Ac yr oeddynt hwy yn ymddiddan â'u
gilydd am yr holl bethau hyn a ddigwydd-
asent.
15 A bu, fel yr oeddynt yn ymddiddan,
ac yn ymofyn â'u gilydd, h yr Iesu ei hun h Mat. 18. 20.
hefyd a nesaodd, ac a aeth gyd â hwynt. Adn. 36.
16 Eithr i eu llygaid hwynt a attaliwyd,
fel na's adwaenent ef. i Ioan 20. 14. a 21. 4.
17 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ryw
ymadroddion yw y rhai hyn yr ydych yn eu
bwrw at eu gilydd, dan rodio, ac yn wyneb-
drist?
18 Ac un *o honynt,* a'i enw Cleopas, gan
atteb a ddywedodd wrtho, A wyt ti yn unig
yn ymdeithydd yn Jerusalem, ac ni wybuost
y pethau a wnaethpwyd ynddi hi yn y dyd-
diau hyn?
19 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa beth-
au? Hwythau a ddywedasant wrtho, Y peth-
au ynghylch Iesu o Nazareth, k yr hwn oedd k Mat. 21. 11.
wr o brophwyd, l galluog mewn gweithred a
gair ger bron Duw a'r holl bobl; Pen. 7. 16. Ioan 4. 19. a 6. 14.
20 A'r modd y traddododd yr arch-offeir-
iaid a'n llywodraethwŷr ni ef i farn marw- l Act. 7. 22.
olaeth, ac a'i croes-hoeliasant ef.

21 Ond yr oeddym ni yn gobeithio [m] mai efe oedd yr hwn a waredai 'r Israel. Ac heb law hyn oll, heddyw yw 'r trydydd dydd er pan wnaethpwyd y pethau hyn.

22 A hefyd [n] rhai gwragedd o honom ni a'n dychrynasant ni, gwedi iddynt fod yn fore wrth y bedd :

23 A phan na chawsant ei gorph ef, hwy a ddaethant, gan ddywedyd, weled o honynt weledigaeth o angylion, y rhai a ddywedent ei fod ef yn fyw.

24 A rhai o'r rhai oedd gyd â nyni a aethant at y bedd, ac a gawsant felly, fel y dywedasai y gwragedd : ond ef ni's gwelsant.

25 Ac efe a ddywedodd wrthynt, O ynfydion, a hwyr-frydig o galon i gredu 'r holl bethau a ddywedodd y prophwydi!

26 [o] Onid oedd raid i Grist ddioddef y pethau hyn, a myned i mewn i'w ogoniant?

27 A chan ddechreu ar [p] Moses, a'r [q] holl brophwydi, efe a esponiodd iddynt yn yr holl ysgrythyrau y pethau am dano ei hun.

28 Ac yr oeddynt yn nesâu i'r dref lle yr oeddynt yn myned : ac [r] yntau a gymmerth arno ei fod yn myned ym mhellach.

29 A [s] hwy a'i cymhellasant ef, gan ddywedyd, Aros gyd â ni : canys y mae hi yn hwyrhâu, a'r dydd yn darfod. Ac efe a aeth i mewn i aros gyd â hwynt.

30 A darfu, ac efe yn eistedd gyd â hwynt, efe a gymmerodd fara, ac a'i bendithiodd, ac a'i torrodd, ac a'i rhoddes iddynt.

31 A'u llygaid hwynt a agorwyd, a hwy a'i hadnabuant ef: ac efe a † ddiflannodd allan o'u golwg hwynt.

32 A hwy a ddywedasant wrth eu gilydd, Onid oedd ein calon ni yn llosgi ynom tra'r ydoedd efe yn ymddiddan â ni ar y ffordd, a thra 'r ydoedd efe yn agoryd i ni 'r ysgrythyrau?

33 A hwy a godasant yr awr honno, ac a ddychwelasant i Jerusalem, ac a gawsant yr un ar ddeg wedi ymgasglu ynghŷd, a'r sawl *oedd* gyd â hwynt,

34 Yn dywedyd, Yr Arglwydd a gyfododd yn wir, ac [t] a ymddangosodd i Simon.

35 A hwythau a adroddasant y pethau *a wnaethesid* ar y ffordd, a pha fodd yr adnabuwyd ef ganddynt wrth dorriad y bara.

36 ¶ [u] Ac a hwy yn dywedyd y pethau hyn, yr Iesu ei hun a safodd yn eu canol hwynt, ac a ddywedodd wrthynt, Tangnefedd i chwi.

37 Hwythau, wedi brawychu ac ofni, a dybiasant weled o honynt ysbryd.

38 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Paham y'ch trallodir? a phaham y mae meddyliau yn codi yn eich calonnau?

39 Edrychwch fy nwylaw a'm traed, mai myfi fy hun ydyw. [x] Teimlwch fi, a gwelwch : canys nid oes gan ysbryd gnawd ac esgyrn, fel y gwelwch fod gennyf fi.

40 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ddangosodd iddynt *ei* ddwylaw a'i draed.

41 Ac a hwy etto heb gredu gan lawenydd, ac yn rhyfeddu, efe a ddywedodd wrthynt, [y] A oes gennych chwi yma ddim bwyd?

42 A hwy a roisant iddo ddarn o bysgodyn wedi ei rostio, ac o ddil mel.

43 Yntau a'i cymmerodd, ac a'i bwyttaodd yn eu gŵydd hwynt.

44 Ac efe a ddywedodd wrthynt, [z] Dyma'r geiriau a ddywedais i wrthych, pan oeddwn etto gyd â chwi, bod yn rhaid cyflawni pob peth a 'sgrifenwyd ynghyfraith Moses, a'r prophwydi, a'r psalmau, am danaf fi.

45 Yna [a] yr agorodd efe eu deall hwynt, fel y deallent yr ysgrythyrau.

46 Ac efe a ddywedodd wrthynt, [b] Felly yr ysgrifenwyd, ac felly yr oedd raid i Grist ddioddef, a chyfodi o feirw y trydydd dydd :

47 A phregethu edifeirwch a [c] maddeuant pechodau yn ei enw ef ym mhlith yr holl genhedloedd, gan ddechreu yn Jerusalem.

48 Ac yr ydych [d] chwi yn dystion o'r pethau hyn.

49 ¶ Ac wele, [e] yr ydwyf fi yn anfon addewid fy Nhad arnoch : eithr arhoswch chwi yn ninas Jerusalem, hyd oni wisger chwi â nerth o'r uchelder.

50 ¶ Ac efe a'u dug hwynt allan [f] hyd yn Bethania; ac a gododd ei ddwylaw, ac a'u bendithiodd hwynt.

51 [g] Ac fe a ddarfu, tra 'r oedd efe yn eu bendithio hwynt, ymadael o hono ef oddi wrthynt, ag efe a ddygwyd i fynu i'r nef.

52 [h] Ac wedi iddynt ei addoli ef, hwy a ddychwelasant i Jerusalem, gyd â llawenydd mawr :

53 Ac yr oeddynt yn wastadol [i] yn y deml, yn moli ac yn bendithio Duw. Amen.

[m] Act. 1. 6. Pen. 2. 38.
[n] Mat. 28. 8. Marc 16. 10. Ioan 20. 18.
[o] Adn. 46. Act. 17. 3. 1 Petr 1. 11.
[p] Gen. 3. 15. a 22. 18. a 26. 4. a 49. 10. Deut. 18. 15.
[q] Psal. 132. 11. Esay 7. 14. a 9. 6. a 40. 10. Jer. 23. 5. a 33. 14. Ezec. 34. 23. a 37. 25. Dan. 9. 24. Michah 7. 20. Edr. ar Ioan 1. 45.
[r] Edrych Gen. 32. 26. a 42. 7. Marc 6. 48.
[s] Gen. 19. 3. Act. 16. 15.
† Neu, aeth yn anweledig iddynt.
[t] 1 Cor. 15. 5.
[u] Marc 16. 14. Ioan 20. 19.
[x] Ioan 20. 20, 27.
[y] Ioan 21. 10.
[z] Mat. 16. 21. a 17. 22. a 20. 18. Pen. 9. 22. a 18. 31. Adn. 6.
[a] Act. 16. 14.
[b] Psal. 22. Esay 53. Act. 17. 3.
[c] Act. 13. 38. 1 Ioan 2. 12.
[d] Ioan 15. 27. Act. 1. 8.
[e] Ioan 14. 15, 26. a 15. 26. a 16. 7. Act. 1. 4. a 2. 1, &c.
[f] Act. 1. 12.
[g] Marc 16. 19. Act. 1. 9.
[h] Mat. 28. 9, 17.
[i] Act. 2. 46. a 5. 42.

# ¶ Yr Efengyl yn ol Sant IOAN.

## PEN. I.

1 *Duwdab, dyndab, a swydd Iesu Grist.* 15 *Tystiolaeth Ioan.* 39 *Galwad Andreas, Petr, Phylip, a Nathanael.*

YN y dechreuad [a] yr oedd y Gair, a'r Gair oedd [b] gyd â Duw, a Duw oedd y Gair.

2 [c] Hwn oedd yn y dechreuad gyd â Duw.

3 [d] Trwyddo ef y gwnaethpwyd pob peth; ac hebddo ef ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd.

4 [e] Ynddo ef yr oedd bywyd; a'r [f] bywyd oedd oleuni dynion:

5 A'r [g] goleuni sydd yn llewyrchu yn y tywyllwch; a'r tywyllwch nid oedd yn ei † amgyffred.

6 ¶ [h] Yr ydoedd gwr wedi ei anfon oddi wrth Dduw, a'i enw Ioan.

7 Hwn a ddaeth yn dystiolaeth, fel y tystiolaethai am y Goleuni, fel y credai pawb trwyddo ef.

8 Nid efe oedd y Goleuni, eithr *efe a anfonasid* fel y tystiolaethai am y Goleuni.

9 [i] Hwn ydoedd y gwir Oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd.

10 Yn y byd yr oedd efe, [k] a'r byd a wnaethpwyd trwyddo ef; a'r byd nid adnabu ef.

11 At ei eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei hun ni dderbyniasant ef.

12 Ond [l] cynnifer ag a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt ‡ allu i fod yn feibion i Dduw, *sef* i'r sawl a gredant yn ei enw ef:

[a] Diar. 8. 22, 24. Col. 1. 17. 1 Ioan 1. 1. Dat. 19. 13.
[b] Diar. 8. 30. Pen. 17. 5. 1 Ioan 1. 2.
[c] Gen. 1. 1.
[d] Col. 1. 16. Heb. 1. 2. Dat. 4. 11.
[e] Pen. 5. 26. 1 Ioan 5. 11.
[f] Pen. 8. 12. a 9. 5. a 12. 46.
[g] Pen 3. 19.
† gyffred.
[h] Mal. 3. 1.
[i] Adn. 4.
[k] Heb. 1. 2. a 11. 3.
[l] Esay 56. 5. Rhuf. 8. 15. Gal. 3. 26. 2 Petr 1. 4. 1 Ioan 3. 1.
‡ Neu, fraint.

13 [m] Y rhai ni aned o waed, nac o ewy-
llys y cnawd, nac o ewyllys gwr, eithr o
Dduw.
14 [n] A'r Gair [o] a wnaethpwyd [p] yn
gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni (ac
[q] ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megis
yr Unig-anedig oddi wrth y Tad) [r] yn
llawn gras a gwirionedd.
15 ¶ Ioan a dystiolaethodd am dano ef,
ac a lefodd, gan ddywedyd, Hwn oedd yr
un y dywedais am dano, [s] Yr hwn sydd yn
dyfod ar fy ol i, a aeth o'm blaen i: canys
yr oedd efe o'm blaen i.
16 Ac o'i [t] gyflawnder ef y derbyniasom
ni oll, a gras am ras.
17 Canys [u] y gyfraith a roddwyd trwy
Moses, ond y gras a'r gwirionedd a ddaeth
trwy Iesu Grist.
18 [x] Ni welodd neb Dduw erióed: yr
unig-anedig Fab, yr hwn sydd ym mynwes
y Tad, hwnnw a'i hyspysodd *ef*.
30. 19 ¶ A hon yw [y] tystiolaeth Ioan, pan
anfonodd yr Iuddewon o Jerusalem offei-
riaid a Lefiaid i ofyn iddo, Pwy wyt ti?
20 Ac [z] efe a gyffesodd, ac ni wadodd; a
chyffesodd, Nid myfi yw 'r Crist.
21 A hwy a ofynasant iddo, Beth ynte?
Ai Elïas wyt ti? Yntau a ddywedodd, Nag
ê. † Ai 'r [a] Prophwyd wyt ti? Ac efe a at-
tebodd, Nag ê.
22 Yna y dywedasant wrtho, Pwy wyt ti?
fel y rhoddom atteb i'r rhai a'n danfonodd.
Beth yr wyt ti yn ei ddywedyd am danat
dy hun?
23 [b] Eb efe, Myfi *yw* llef un yn gwaeddi
yn y diffaethwch, Uniawnwch ffordd yr Ar-
glwydd, fel [c] y dywedodd Esay y pro-
phwyd.
24 A'r rhai a anfonasid oedd o'r Phari-
seaid.
25 A hwy a ofynasant iddo, ac a ddywe-
dasant wrtho, Paham gan hynny yr wyt ti
yn bedyddio, onid ydwyt ti na'r Crist, nac
Elïas, na 'r prophwyd?
26 Ioan a attebodd iddynt, gan ddywe-
dyd, [d] Myfi sy yn bedyddio â dwfr; ond y
mae un yn sefyll yn eich plith chwi, yr hwn
nid adwaenoch chwi:
27 [e] Efe yw 'r hwn sydd yn dyfod ar
fy ol i, yr hwn a aeth o'm blaen i; yr
hwn nid ydwyf fi deilwng i ddattod carrai
ei esgid.
28 Y pethau hyn a wnaethpwyd yn Be-
thabara, y tu hwnt i'r Iorddonen, lle yr
oedd Ioan yn bedyddio.
29 ¶ Trannoeth Ioan a ganfu yr Iesu yn
dyfod atto; ac *efe* a ddywedodd, Wele [f] Oen
Duw, yr hwn sydd yn ‡ tynnu ymaith be-
chodau'r byd.
30 [g] Hwn yw efe am yr hwn y dywedais
i, Ar fy ol i y mae gwr yn dyfod, yr hwn a
aeth o'm blaen i: canys yr oedd efe o'm
blaen i.
31 Ac myfi nid adwaenwn ef: eithr fel yr
amlygid ef i Israel, i hynny y daethum i,
gan fedyddio â dwfr.
32 Ac Ioan a dystiolaethodd, gan ddy-
wedyd, Mi a welais [h] yr Yspryd yn disgyn
megis colommen, o'r nef, ac efe a arhosodd
arno ef.
33 A myfi nid adwaenwn ef; eithr yr
hwn a'm hanfonodd i fedyddio â dwfr, efe
a ddywedodd wrthyf, Ar yr hwn y gwelych
yr Yspryd yn disgyn ac yn aros arno,
[i] hwnnw yw 'r un sy 'n bedyddio â'r Yspryd
Glân.

[m] Pen. 3. 5. Iago 1. 18. 1 Petr 1. 23.
[n] Mat. 1. 16. Luc 1. 31. a 2. 7.
[o] Rhuf. 1. 3. Gal. 4. 4.
[p] 1 Tim. 3. 16. Heb. 2. 14.
[q] Mat. 17. 2. 2 Petr 1. 17.
[r] Col. 1. 19. a 2. 3, 9.
[s] Adn. 27, 30. Pen. 3. 31.
[t] Col. 1. 19. a 2. 9, 10.
[u] Exod. 20. 1, &c.
[x] Mat. 11. 27. Luc 10. 22. 1 Tim. 6. 16. 1 Ioan 4. 12.
[y] Pen. 5. 33.
[z] Pen. 3. 28. Act. 13. 25.
† *Ai Prophwyd.*
[a] Deut. 18. 15, 18. Pen. 6. 14.
[b] Mat. 3. 3. Pen. 3. 28.
[c] Esay 40. 3.
[d] Mat. 3. 11.
[e] Adn. 15, 30. Act. 19. 4.
[f] Esay 53. 7. Act. 8. 32. 1 Petr 1. 19.
‡ *dwyn arno.*
[g] Adn. 15, 27.
[h] Mat. 3. 16. Marc 1. 10. Luc 3. 22.
[i] Mat. 3. 11. Act. 1. 5.

34 A mi a welais, ac a dystiolaethais mai
hwn yw Mab Duw.
35 ¶ Trannoeth drachefn y safodd Ioan, 30.
a dau o'i ddisgyblion:
36 A chan edrych ar yr Iesu yn rhodio,
efe a ddywedodd, [k] Wele Oen Duw.
37 A'r ddau ddisgybl a'i clywsant ef yn
llefaru, ac a ganlynasant yr Iesu.
38 Yna 'r Iesu a droes; a phan welodd
hwynt yn canlyn, efe a ddywedodd wrth-
ynt, Beth yr ydych chwi yn ei geisio? A
hwy a ddywedasant wrtho ef, Rabbi (yr
hyn o'i gyfieithu yw, Athraw) pa le yr wyt
ti yn § trigo?
39 Efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch a
gwelwch. A hwy a ddaethant, ac a welsant
lle yr oedd efe yn trigo, ac a arhosasant gyd
ag ef y diwrnod hwnnw: ac yr oedd hi yn-
ghylch y ddegfed awr.
40 [l] Andreas, brawd Simon Petr, oedd un
o'r ddau a glywsent *hynny* gan Ioan, ac a'i
dilynasent ef.
41 Hwn yn gyntaf a gafodd ei frawd ei
hun Simon, ac a ddywedodd wrtho, Nyni a
gawsom y Messïas; yr hyn o'i ddeongl yw,
|| Y Crist.
42 Ac efe a'i dug ef at yr Iesu. A'r Iesu
wedi edrych arno ef, a ddywedodd, Ti yw
Simon mab Jona: [m] ti a elwir Cephas, yr
hwn a gyfieithir, † Carreg.
43 ¶ Trannoeth yr ewyllysiodd yr Iesu
fyned allan i Galilea; ac efe a gafodd Phy-
lip, ac a ddywedodd wrtho, Dilyn fi.
44 A [n] Phylip oedd o Bethsaida, o ddinas
Andreas a Phetr.
45 Phylip a gafodd [o] Nathanaël, ac a
ddywedodd wrtho, Cawsom yr hwn yr
ysgrifenodd [p] Moses yn y gyfraith, a'r
[q] prophwydi, am dano, Iesu [r] o Nazareth,
mab Joseph.
46 A Nathanaël a ddywedodd wrtho, [s] A
ddichon dim da ddyfod o Nazareth? Phylip
a ddywedodd wrtho, Tyred a gwel.
47 Iesu a ganfu Nathanaël yn dyfod atto;
ac a ddywedodd am dano, Wele Israeliad
yn wir, [t] yn yr hwn nid oes dwyll.
48 Nathanaël a ddywedodd wrtho, Pa
fodd y'm hadwaenost? Iesu a attebodd ac
a ddywedodd wrtho, Cyn i Phylip dy alw
di, pan oeddit tan y ffigysbren, mi a'th we-
lais di.
49 Nathanaël a attebodd ac a ddywedodd
wrtho ef, Rabbi, ti yw Mab Duw; ti yw
Brenhin Israel.
50 Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho
ef, O herwydd i mi ddywedyd i ti, Myfi a'th
welais di dan y ffigysbren, a ydwyt ti yn cre-
du? ti a gei weled pethau mwy nâ 'r rhai hyn.
51 Ac efe a ddywedodd wrtho, Yn wir,
yn wir, meddaf i chwi, [u] Ar ol hyn y gwel-
wch y nef yn agored, ac angylion Duw yn
esgyn ac yn disgyn ar Fab y dyn.

## PEN. II.

1 *Crist yn troi 'r dwfr yn win:* 12 *yn myned i wared i Capernaum a Jerusalem;* 14 *ac yno yn bwrw y prynwŷr a'r gwerthwŷr allan o'r deml:* 19 *yn rhag-fynegi ei farwolaeth, a'i adgyfodiad.* 23 *Llawer yn credu ynddo, o herwydd ei wyrthiau; ond er hynny nid ymddiriedai efe iddynt am dano ei hun.*

A'R trydydd dydd yr oedd priodas [a] yn 30.
Cana Galilea: a mam yr Iesu oedd yno.
2 A galwyd yr Iesu hefyd a'i ddisgyblion
i'r priodas.

[k] Adn. 29.
§ *byw?*
[l] Mat. 4. 18.
|| *Yr Eneiniog.*
[m] Mat. 16. 18.
† *Neu, Petr.*
[n] Pen. 12. 21.
[o] Pen. 21. 2.
[p] Gen. 3. 15. a 49. 10. Deut. 18. 18. Edr. ar Luc 24. 27.
[q] Esay 4. 2. a 7. 14. a 9. 6. a 53. 2. Michah 5. 2. Zech. 6. 12. a 9. 9. Edr. ar Luc 24. 27.
[r] Mat. 2. 23. Luc 2. 4.
[s] Pen. 7. 41, 42.
[t] Psal. 32. 2. a 73. 1. Rhuf. 2. 28, 29.
[u] Gen. 28. 12. Mat. 4. 11. Luc 2. 9, 13. a 22. 43. a 24. 4. Act. 1. 10, 13.
[a] Edrych Jos. 19. 28.

3 A phan ballodd y gwin, mam yr Iesu a
ddywedodd wrtho ef, Nid oes ganddynt
mo'r gwin.
[b] Pen. 19. 26. 4 Iesu a ddywedodd wrthi, [b] † Beth sydd
i mi *a unelwyf* â thi, wraig? [c] ni ddaeth fy
† *Beth yw i mi ac i ti, wraig?* awr i etto.
5 Ei fam ef a ddywedodd wrth y gwas-
[c] Pen. 7. 6. anaethwŷr, Beth bynnag a ddywedo ef
wrthych, gwnewch.
6 Ac yr oedd yno chwech o ddyfr-lestri
[d] Marc 7. 3. meini wedi eu gosod, [d] yn ol defod pured-
igaeth yr Iuddewon, y rhai a ddalient bob
un ddau ffircyn neu dri.
7 Iesu a ddywedodd wrthynt, Llenwch y
dyfr-lestri o ddwfr. A hwy a'u llanwasant
hyd yr ymyl.
8 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Gollyng-
wch yn awr, a dygwch at lywodraethwr y
wledd. A hwy a ddygasant.
9 A phan brofodd llywodraethwr y wledd
y dwfr a wnaethid yn win (ac ni wyddai o
ba le yr ydoedd, eithr y gwasanaethwŷr, y
rhai a ollyngasent y dwfr, a wyddent) lly-
wodraethwr y wledd a alwodd ar y prïod-
fab,
10 Ac a ddywedodd wrtho, Pob dyn a
esyd y gwin da yn gyntaf; ac wedi iddynt
yfed yn dda, yna un a fo gwaeth; tithau a
gedwaist y gwin da hyd yr awr hon.
11 Hyn o ddechreu gwyrthiau a wnaeth
yr Iesu yn Cana Galilea, ac a eglurodd
ei ogoniant; a'i ddisgyblion a gredasant
ynddo.
12 ¶ Wedi hyn efe a aeth i wared i Ca-
[e] Pen. 7. 3. pernaum, efe, a'i fam, [e] a'i frodyr, a'i ddis-
gyblion: ac yno nid arhosasant nemmawr
o ddyddiau.
13 ¶ A phasg yr Iuddewon oedd yn
agos: a'r Iesu a aeth i fynu i Jerusalem;
[f] Mat. 21. 12. Marc 11. 15. Luc 19. 45. 14 [f] Ac a gafodd yn y deml rai yn
gwerthu ychen, a defaid, a cholommennod,
a'r newidwŷr arian yn eistedd.
15 Ac wedi gwneuthur ffrewyll o fân
reffynnau, efe a'u gyrrodd hwynt oll allan
o'r deml, y defaid hefyd a'r ychen; ac a
dywalltodd allan arian y newidwŷr, ac a
ddymchwelodd y byrddau:
16 Ac a ddywedodd wrth y rhai oedd yn
gwerthu colommennod, Dygwch y rhai hyn
oddi yma; na wnewch dŷ fy Nhad i yn dŷ
marchnad.
17 A'i ddisgyblion a gofiasant fod yn
[g] Psal. 69. 9. ysgrifenedig, [g] Zel dy dŷ di a'm bys-
odd i.
18 ¶ Yna'r Iuddewon a attebasant ac a
[h] Mat. 12. 38. ddywedasant wrtho ef, [h] Pa arwydd yr
Pen. 6. 30. wyt ti yn ei ddangos i ni, gan dy fod yn
gwneuthur y pethau hyn?
19 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd
[i] Mat. 26. wrthynt, [i] Dinystriwch y deml hon, ac
61. a 27. 40. mewn tridiau y cyfodaf hi.
Marc 14. 58. a 15. 29. 20 Yna'r Iuddewon a ddywedasant,
Chwe blynedd a deugain y buwyd yn adeil-
adu'r deml hon; ac a gyfodi di hi mewn
tridiau?
21 Ond efe a ddywedasai am deml ei
gorph.
22 Am hynny pan gyfododd efe o feirw,
[k] Luc 24. 8. [k] ei ddisgyblion ef a gofiasant iddo ddywe-
dyd hyn wrthynt hwy: a hwy a gred-
asant yr ysgrythyr, a'r gair a ddywedasai'r
Iesu.
23 ¶ Ac fel yr oedd efe yn Jerusalem ar
y pasg yn yr wyl, llawer a gredasant yn ei
enw ef, wrth weled ei arwyddion a wnaeth-
ai efe.
24 Ond nid ymddiriedodd yr Iesu iddynt
am danu ei hun, am yr adwaenai efe hwynt [l] 1 Sam. 16. 7.
oll; 1 Chron.
25 Ac nad oedd raid iddo dystiolaethu o 28. 9.
neb *iddo* am ddyn: o herwydd [l] yr oedd efe Pen. 6. 64. Act. 1. 24.
yn gwybod beth oedd mewn dyn. Dat. 2. 23.

## PEN. III.

1 *Crist yn dysgu Nicodemus mor angenrheid-*
*iol yw ad-enedigaeth.* 14 *Am ffydd yn ei*
*farwolaeth ef.* 16 *Mawr gariad Duw tu*
*ag at y byd.* 18 *Condemniad am anghred-*
*iniaeth.* 23 *Bedydd, tystiolaeth, ac ath-*
*rawiaeth Ioan am Grist.*

AC yr oedd dyn o'r Phariseaid, a'i enw 30.
Nicodemus, pennaeth yr Iuddewon:
2 [a] Hwn a ddaeth at yr Iesu liw nos, ac a [a] Pen. 7.
ddywedodd wrtho, Rabbi, nyni a wyddom 50. a 19.
mai dysgawdwr ydwyt ti wedi dyfod oddi 39.
wrth Dduw: canys [b] ni allai neb wneuthur [b] Pen. 9.
y gwyrthiau hyn yr wyt ti yn eu gwneuthur, 16, 33.
oni bai fod [c] Duw gyd ag ef. [c] Act. 10.
3 Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, 38.
Yn wir, yn wir, meddaf i ti, [d] Oddi eithr [d] Tit. 3. 5.
geni dyn † drachefn, ni ddichon efe weled † *oddi*
teyrnas Dduw. *fynu.*
4 Nicodemus a ddywedodd wrtho, Pa
fodd y dichon dyn ei eni, ac efe yn hen? a
ddichon efe fyned i groth ei fam eilwaith,
a'i eni?
5 Iesu a attebodd ac a ddywedodd, Yn
wir, yn wir, meddaf i ti, Oddi eithr geni dyn
o ddwfr ac o'r Yspryd, ni ddichon efe fyned
i mewn i deyrnas Dduw.
6 Yr hyn a aned o'r cnawd, sydd gnawd;
a'r hyn a aned o'r Yspryd, sydd yspryd.
7 Na ryfedda ddywedyd o honof fi wrth-
yt, Y mae yn rhaid eich geni chwi ‡ dra- ‡ *oddi*
chefn. *fynu.*
8 [e] Y mae'r gwŷnt yn chwythu lle y [e] Preg. 11.
mynno; a thi a glywi ei swn ef, ond ni 5.
wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le 1 Cor. 2. 11.
y mae yn myned: felly mae pob un a'r a
aned o'r Yspryd.
9 Nicodemus a attebodd ac a ddywed-
odd wrtho, [f] Pa fodd y dichon y pethau [f] Pen. 6. 52,
hyn fod? 60.
10 Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho,
A wyt ti yn ddysgawdwr yn Israel, ac ni
wyddost y pethau hyn?
11 [g] Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Mai [g] Pen. 7. 16. a 8. 28.
yr hyn a wyddom yr ydym yn ei lefaru, a'r a 12. 49. a
hyn a welsom yr ydym yn ei dystiol- 14. 24.
aethu; [h] a'n tystiolaeth ni nid ydych yn ei [h] Adn. 32.
derbyn.
12 Os dywedais i chwi bethau daearol,
a chwithau nid ydych yn credu; pa fodd,
os dywedaf i chwi bethau nefol, y cred-
wch?
13 Ac [i] ni esgynodd neb i'r nef, oddi [i] Diar. 30.
eithr yr hwn a ddisgynodd o'r nef, *sef* Mab 4. Pen. 6. 62.
y dyn, yr hwn sydd yn y nef. Eph. 4. 9.
14 ¶ Ac [k] megis y dyrchafodd Moses y [k] Num. 21.
sarph yn y diffaethwch, felly [l] y mae yn 9.
rhaid dyrchafu Mab y dyn: [l] Pen. 8. 28.
15 Fel na choller pwy bynnag a gredo a 12. 32.
ynddo ef, ond [m] caffael o hono fywyd tra- [m] Adn. 36.
gywyddol. Pen. 6. 47.
16 ¶ [n] Canys felly y carodd Duw y [n] 1 Ioan 4.
byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig 9.
Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo
ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragy-
wyddol.
17 [o] Oblegid ni ddanfonodd Duw ei Fab [o] Luc 9. 56.
i'r byd, i ddamnio'r byd, ond fel yr achub- Pen. 5. 45. a 8. 15. a
id y byd trwyddo ef. 12. 47.

18 ¶ [p] Yr hwn sydd yn credu ynddo ef, ni ddemnir: eithr yr hwn nid yw yn credu, a ddamniwyd eisoes; o herwydd na chredodd yn enw unig-anedig Fab Duw.
[p] Pen. 5. 24. a 6. 40, 47. a 20. 31.

19 A hon yw'r ddamnedigaeth; [q] ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy nâ'r goleuni: canys yr oedd eu gweithredoedd hwy yn ddrwg.
[q] Pen. 8. 12.

20 O herwydd [r] pob un a'r sydd yn gwneuthur drwg, sydd yn casâu y goleuni, ac nid yw yn dyfod i'r goleuni, fel † nad argyoedder ei weithredoedd ef.
[r] Job 24. 13, 17. † Neu, *na ddatguddier.*

21 Ond yr hwn sydd yn gwneuthur gwirionedd, sydd yn dyfod i'r goleuni, fel yr eglurhaer ei weithredoedd ef, mai yn Nuw y gwnaed hwynt.

22 ¶ Wedi y pethau hyn, daeth yr Iesu a'i ddisgyblion i wlad Judea; ac a arhosodd yno gyd â hwynt, [s] ac a fedyddiodd.
[s] Pen. 4. 2.

23 ¶ Ac yr oedd Ioan hefyd yn bedyddio yn Ainon, yn agos i Salim; canys dyfroedd lawer oedd yno: a hwy a ddaethant ac a'u bedyddiwyd.

24 Canys [t] ni fwriasid Ioan etto yngharchar.
[t] Mat. 14. 3.

25 ¶ Yna y bu ymofyn rhwng *rhai* o ddisgyblion Ioan a'r Iuddewon, ynghylch puredigaeth.

26 A hwy a ddaethant at Ioan, ac a ddywedasant wrtho, ‡ Rabbi, yr hwn oedd gyd â thi y tu hwnt i'r Iorddonen, [u] am yr hwn y tystiolaethaist ti, wele, y mae hwnnw yn bedyddio, a phawb yn dyfod atto ef.
‡ *Athro.* [u] Pen. 1. 7, 15, 27, 34.

27 Ioan a attebodd ac a ddywedodd, [x] Ni ddichon dyn § dderbyn dim, oni bydd wedi ei roddi iddo o'r nef.
[x] 1 Cor. 4. 7. Heb. 5. 4. Iago 1. 17. § *gymeryd dim iddo ei hun.*

28 Chwychwi eich hunain ydych dystion i mi, ddywedyd o honof fi, [y] Nid myfi yw y Crist, eithr [z] fy mod wedi fy anfon o'i flaen ef.
[y] Pen. 1. 20, 27. [z] Mal. 3. 1. Marc 1. 2. Luc 1. 17.

29 Yr hwn sydd ganddo y brïod-ferch, yw'r prïod-fab: ond [a] cyfaill y prïod-fab, yr hwn sydd yn sefyll ac yn ei glywed ef, sydd yn llawenychu yn ddirfawr oblegid llef y prïod-fab: y llawenydd hwn || mau fi gan hynny a gyflawnwyd.
[a] Can. 5. 1. || *o'r eiddof fi, &c.*

30 Rhaid ydyw iddo ef gynnyddu, ac i minnau leihâu.

31 Yr hwn a ddaeth oddi uchod, [b] sydd goruwch pawb oll: yr hwn sydd o'r ddaear, sydd o'r ddaear, ac am y ddaear y mae yn llefaru: [c] yr hwn sydd yn dyfod o'r nef, sydd goruwch pawb.
[b] Pen. 1. 15, 27. [c] 1 Cor. 15. 47.

32 [d] A'r hyn a welodd efe ac a glywodd, hynny y mae efe yn ei dystiolaethu: ond nid oes neb yn derbyn ei dystiolaeth ef.
[d] Adn. 11. Pen. 8. 26.

33 Yr hwn a dderbyniodd ei dystiolaeth ef, [e] a seliodd mai geirwir yw Duw.
[e] Rhuf. 3. 4. 1 Ioan 5. 10.

34 Canys yr hwn a anfonodd Duw, sydd yn llefaru geiriau Duw; oblegid nid wrth fesur y mae Duw yn rhoddi *iddo ef* yr Yspryd.
[f] Mat. 11. 27. a 28. 18. Pen. 5. 20, 22. a 13. 3 a 17. 2. Heb. 2. 8.

35 [f] Y mae'r Tad yn caru'r Mab, ac efe a roddodd bob peth yn ei law ef.

36 [g] Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol: a'r hwn sydd heb gredu i'r Mab, ni wêl fywyd; eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef.
[g] Hab. 2. 4. Adn. 15, 16. Rhuf. 1. 17. 1 Ioan 5. 10.

## PEN. IV.

1 Crist yn ymddiddan â gwraig o Samaria, ac yn ei ddatguddio ei hun iddi. 27 Ei ddisgyblion yn rhyfeddu; 31 ac yntau yn hyspysu iddynt ei sel tu ag at ogoniant Duw. 39 Llawer o'r Samariaid yn credu ynddo; 43 ac yntau yn myned ymaith i Galilea, ac yn iachâu mab y llywydd oedd yn gorwedd yn glaf yn Capernaum.

PAN wybu'r Arglwydd gan hynny glywed o'r Phariseaid fod yr Iesu yn gwneuthur ac [a] yn bedyddio mwy o ddisgyblion nag Ioan, 30.
[a] Pen. 3. 22, 26.

2 (Er na fedyddiasai yr Iesu ei hun, eithr ei ddisgyblion ef)

3 Efe a adawodd Judea, ac a aeth drachefn i Galilea.

4 Ac yr oedd yn rhaid iddo fyned trwy Samaria.

5 Efe a ddaeth gan hynny i ddinas yn Samaria a elwid Sichar, ger llaw y rhandir [b] a roddasai Jacob i'w fab Joseph.
[b] Gen. 33. 19. a 48. 22. Jos. 24. 32.

6 Ac yno yr oedd ffynnon Jacob. Yr Iesu gan hynny yn ddiffygiol gan y daith, a eisteddodd felly ar y ffynnon: ac ynghylch y chweched awr ydoedd hi.

7 Daeth gwraig o Samaria i dynnu dwfr: a'r Iesu a ddywedodd wrthi, Dyro i mi i yfed.

8 (Canys ei ddisgyblion ef a aethent i'r ddinas i brynu bwyd)

9 Yna'r wraig o Samaria a ddywedodd wrtho ef, Pa fodd yr ydwyt ti, a thi yn Iuddew, yn gofyn diod gennyf fi, a myfi yn wraig o Samaria? oblegid [c] nid yw'r Iuddewon yn ymgyfeillach â'r Samariaid.
[c] 2 Bren. 17. 24. Luc 9. 52, 53. Act. 10. 28.

10 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthi, Ped adwaenit ti ddawn Duw, a phwy yw'r hwn sydd yn dywedyd wrthyt, Dyro i mi i yfed; tydi a ofynasit iddo ef, ac efe a roddasai i ti [d] ddwfr bywiol.
[d] Jer. 2. 13.

11 Y wraig a ddywedodd wrtho, Arglwydd, nid oes gennyt ti ddim i godi *dwfr*, a'r pydew sydd ddwfn: o ba le gan hynny y mae gennyt ti y dwfr bywiol hwnnw?

12 Ai mwy wyt ti nâ'n tad Jacob, yr hwn a roddodd i ni y pydew, ac efe ei hun a yfodd o hono, a'i feibion, a'i anifeiliaid?

13 Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthi, Pwy bynnag sydd yn yfed o'r dwfr hwn, efe a sycheda drachefn:

14 Ond [e] pwy bynnag a yfo o'r dwfr a roddwyf fi iddo, ni sycheda yn dragywydd; eithr y dwfr a roddwyf iddo, [f] a fydd ynddo yn ffynnon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol.
[e] Pen. 6. 35, 58. [f] Pen. 7. 38.

15 [g] Y wraig a ddywedodd wrtho, Arglwydd, dyro i mi y dwfr hwn, fel na sychedwyf, ac na ddelwyf yma i godi *dwfr*.
[g] Edrych Pen. 6. 34.

16 Iesu a ddywedodd wrthi, Dos, galw dy wr, a thyred yma.

17 Y wraig a attebodd ac a ddywedodd, Nid oes gennyf wr. Iesu a ddywedodd wrthi, Da y dywedaist, Nid oes gennyf wr:

18 Canys pump o wŷr a fu i ti; a'r hwn sydd gennyt yr awrhon, nid yw wr i ti: hyn a ddywedaist yn wir.

19 Y wraig a ddywedodd wrtho ef, Arglwydd, † mi a welaf mai prophwyd wyt ti.
† Luc 7. 16. a 24. 19. Pen. 6. 14.

20 Ein tadau a addolasant yn y mynydd hwn; ac yr ydych chwi yn dywedyd mai [h] yn Jerusalem y mae'r man lle y mae'n rhaid addoli.
[h] Deut. 12. 5, 11. 1 Bren. 9. 3. 2 Chron. 7. 12.

21 Iesu a ddywedodd wrthi hi, O wraig, cred fi, y mae'r awr yn dyfod, pryd nad

addoloch y Tad, nac yn y mynydd hwn, nac
yn Jerusalem.
ᵎ 2 Bren. 17. 29. 22 Chwychwi ydych yn addoli ᵎ y peth
ni wyddoch; ninnau ydym yn addoli y peth
ᵏ Esay 2. 3. a wyddom: canys ᵏ iachawdwriaeth sydd
Rhuf. 9. 4, 5. o'r Iuddewon.
23 Ond dyfod y mae 'r awr, ac yn awr
y mae hi, pan addolo y gwir addolwŷr y
Tad mewn yspryd a gwirionedd: canys
y cyfryw y mae 'r Tad yn eu ceisio i'w
addoli ef.
ˡ 2 Cor. 3. 17. 24 ˡ Yspryd yw Duw; a rhaid i 'r rhai
a'i haddolant ef, addoli mewn yspryd a
gwirionedd.
25 Y wraig a ddywedodd wrtho, Mi a
wn fod y Messïas yn dyfod, yr hwn a elwir
Crist: pan ddelo hwnnw, efe a fynega i ni
bob peth.
ᵐ Pen. 9. 37. 26 Iesu a ddywedodd wrthi hi, ᵐ Myfi,
yr hwn wyf yn ymddiddan â thi, yw
*hwnnw*.
27 ¶ Ac ar hyn y daeth ei ddisgyblion; a
bu ryfedd ganddynt ei fod ef yn ymddiddan
â gwraig: er hynny ni ddywedodd neb,
Beth a geisi? neu, Paham yr ydwyt yn
ymddiddan â hi?
28 Yna 'r wraig a adawodd ei dwfr-
lestr, ac a aeth i 'r ddinas, ac a ddywedodd
wrth y dynion,
29 Deuwch, gwelwch ddyn yr hwn a ddy-
wedodd i mi yr hyn oll a wneuthum; onid
hwn yw 'r Crist?
30 Yna hwy a aethant allan o'r ddinas, ac
a ddaethant atto ef.
31 ¶ Yn y cyfamser y disgyblion a at-
tolygasant iddo, gan ddywedyd, Rabbi,
bwytta.
32 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Y mae
gennyf fi fwyd i'w fwytta yr hwn ni wyd-
doch chwi oddi wrtho.
33 Am hynny y disgyblion a ddywed-
asant wrth eu gilydd, A ddug neb iddo
*ddim* i'w fwytta?
34 Iesu a ddywedodd wrthynt, Fy mwyd
i yw gwneuthur ewyllys yr hwn a'm han-
fonodd, a gorphen ei waith ef.
35 Onid ydych chwi yn dywedyd, Y mae
etto bedwar mis, ac *yna* y daw 'r cynhauaf?
Wele, yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych,
Dyrchefwch eich llygaid, ac edrychwch ar
ⁿ Mat. 9. 37. y meusydd; ⁿ canys gwynion ydynt eisoes
Luc 10. 2 i 'r cynhauaf.
36 A'r hwn sydd yn medi, sydd yn der-
byn cyflog, ac yn casglu ffrwyth i fywyd
tragywyddol: fel y byddo i 'r hwn sydd yn
hau, ac i 'r hwn sydd yn medi, lawenychu
ynghŷd.
37 Canys yn hyn y mae 'r gair yn wir,
Mai arall yw yr hwn sydd yn hau, ac arall
yr hwn sydd yn medi.
38 Myfi a'ch anfonais chwi i fedi yr
hyn ni lafuriasoch: eraill a lafuriasant, a
chwithau a aethoch i mewn i'w llafur
hwynt.
39 ¶ A llawer o'r Samariaid o'r ddinas
honno a gredasant ynddo, o herwydd gair
y wraig, yr hon oedd yn tystiolaethu, Efe a
ddywedodd i mi 'r hyn oll a wneuthum.
40 Am hynny pan ddaeth y Samariaid
atto ef, hwy a attolygasant iddo aros
gyd â hwynt. Ac efe a arhosodd yno
ddeuddydd.
41 A mwy o lawer a gredasant ynddo ef,
oblegid ei air ei hun.
42 A *hwy* a ddywedasant wrth y wraig,
Nid ydym ni weithian yn credu, oblegid
dy ymadrodd di: canys ᵒ ni a'i clywsom *ef* ᵒ Pen. 17. 8.
ein hunain, ac a wyddom mai hwn yn ddiau
yw 'r Crist, Iachawdwr y byd.
43 ¶ Ac ym mhen y ddeuddydd efe a
aeth ymaith oddi yno, ac a aeth i Galilea.
44 Canys ᵖ yr Iesu ei hun a dystiolaeth- ᵖ Mat. 13. 57.
odd, nad ydyw prophwyd yn cael anrhy- Marc 6. 4.
dedd yn ei wlad ei hun. Luc 4. 24.
45 Yna pan ddaeth efe i Galilea, y Ga-
lileaid a'i derbyniasant ef, wedi iddynt
weled yr holl bethau a wnaeth efe yn Je-
rusalem ar yr wyl: canys hwythau a ddaeth-
ant i 'r wyl.
46 Felly yr Iesu a ddaeth drachefn i Cana
yn Galilea, ᑫ lle y gwnaeth efe y dwfr yn ᑫ Pen. 2.
win. Ac yr oedd rhyw † bendefig yr hwn 1, 11.
yr oedd ei fab yn glaf yn Capernaum. † reolwr
47 ¶ Pan glybu hwn ddyfod o'r Iesu o
Judea i Galilea, efe a aeth atto ef, ac a at-
tolygodd iddo ddyfod i wared, a iachâu ei
fab ef: canys yr oedd efe ym mron marw.
48 Yna Iesu a ddywedodd wrtho ef, ʳ Oni ʳ 1 Cor. 1.
welwch chwi arwyddion a rhyfeddodau, ni 22.
chredwch.
49 Y pendefig a ddywedodd wrtho ef, O
Arglwydd, tyred i wared cyn marw fy
machgen.
50 Iesu a ddywedodd wrtho ef, Dos ym-
aith; y mae dy fab yn fyw. A'r gwr a
gredodd y gair a ddywedasai Iesu wrtho, ac
efe a aeth ymaith.
51 Ac fel yr oedd efe yr awrhon yn
myned i wared, ei weision a gyfarfuant ag
ef, ac a fynegasant, gan ddywedyd, Y mae
dy fachgen yn fyw.
52 Yna efe a ofynodd iddynt yr awr y
gwellhasai arno. A hwy a ddywedasant
wrtho, Doe, y seithfed awr, y gadawodd y
cryd ef.
53 Yna y gwybu 'r tad mai yr awr
honno *oedd*, yn yr hon y dywedasai Iesu
wrtho ef, Y mae dy fab yn fyw. Ac efe a
gredodd, a'i holl dŷ.
54 Yr ail arwydd yma drachefn a wnaeth
yr Iesu, wedi dyfod o Judea i Galilea.

## PEN. V.

1 *Yr Iesu ar y dydd sabbath yn iachâu 'r hwn a fuasai glaf namyn dwy flynedd deugain: 10 a'r Iuddewon am hynny yn cweryla, ac yn ei erlid ef. 17 Ac yntau yn atteb drosto ei hun, ac yn eu hargyoeddi hwy, gan ddangos pwy ydyw ef, trwy dystiolaeth ei Dad, 32 ac Ioan, 36 a'i weithredoedd ei hun, 39 a'r ysgrythyrau.*

WEDI hynny yr oedd ᵃ gwyl yr Iuddew- 31.
on; a'r Iesu a aeth i fynu i Jerusalem. ᵃ Lev. 23. 2.
2 Ac y mae yn Jerusalem, wrth † *farchnad* Deut. 16. 1.
y defaid, lyn a elwir yn Hebraeg, Bethesda, † borth.
ag iddo bum porth:
3 Yn y rhai y gorweddai lliaws mawr o
rai cleifion, deillion, cloffion, gwywedigion,
yn disgwyl am gynhyrfiad y dwfr.
4 Canys angel oedd ar amserau yn disgyn
i 'r llyn, ac yn cynhyrfu 'r dwfr: yna yr hwn
a elai i mewn yn gyntaf ar ol cynhyrfu 'r
dwfr, a ai yn iach o ba glefyd bynnag a
fyddai arno.
5 Ac yr oedd rhyw ddyn yno, yr hwn a
fuasai ‡ glaf namyn dwy flynedd deugain. ‡ mewn
6 Yr Iesu, pan welodd hwn yn gorwedd, gwendid
a gwybod ei fod ef *felly* yn hir o amser
bellach, a ddywedodd wrtho, A fynni di dy
wneuthur yn iach?
7 Y claf a attebodd iddo, Arglwydd, nid
oes gennyf ddyn i'm bwrw i 'r llyn, pan

gynhyrfer y dwfr: ond tra fyddwyf fi yn
dyfod, arall a ddisgyn o'm blaen i.
b Mat. 9. 6. 8 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, b Cyfod,
Marc 2. 11. cymmer dy wely i fynu, a rhodia.
Luc 5. 24. 9 Ac yn ebrwydd y gwnaed y dyn yn
iach; ac *efe* a gododd ei wely, ac a rodiodd.
c Pen. 9. A'r c sabbath oedd y diwrnod hwnnw.
14. 10 ¶ Am hynny yr Iuddewon a ddywed-
d Exod. 20. asant wrth yr hwn a wnaethid yn iach, d Y
10. sabbath yw hi: nid cyfreithlon i ti godi *dy*
Neh. 13. 19. wely.
Jer. 17. 21, 11 Efe a attebodd iddynt, Yr hwn a'm
&c. gwnaeth i yn iach, efe a ddywedodd wrthyf,
Mat. 12. 2. Cyfod dy wely, a rhodia.
Marc 2. 24.
Luc 6. 2. 12 Yna hwy a ofynasant iddo, Pwy yw'r
dyn a ddywedodd wrthyt ti, Cyfod dy wely,
a rhodia?
13 A'r hwn a iachasid ni wyddai pwy
† Neu, oedd efe. Canys yr Iesu a giliasai † o'r dyr-
er bod fa oedd yn y fan *honno.*
tyrfa
(neu, a 14 Wedi hynny'r Iesu a'i cafodd ef yn
thyrfa) y deml, ac a ddywedodd wrtho, Wele, ti a
yn y fan wnaethpwyd yn iach: e na phecha mwy-
honno.
e Mat. 12. ach, rhag digwydd i ti beth a fyddo gwaeth.
45. 15 Y dyn a aeth ymaith, ac a fynegodd
Pen. 8. 11. i'r Iuddewon, mai'r Iesu oedd yr hwn a'i
gwnaethai ef yn iach.
16 Ac am hynny yr Iuddewon a erlid-
iasant yr Iesu, ac a geisiasant ei ladd ef,
oblegid iddo wneuthur y pethau hyn ar y
sabbath.
17 ¶ Ond yr Iesu a'u hattebodd hwynt,
f Pen. 14. f Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn,
10. ac yr ydwyf finnau yn gweithio.
18 Am hyn gan hynny yr Iuddewon
g Pen. 7. g a geisiasant yn fwy ei ladd ef, oblegid
19. nid yn unig iddo dorri'r sabbath, ond he-
fyd iddo ddywedyd fod Duw yn Dad iddo,
h Pen. 10. h gan ei wneuthur ei hun yn ‡ gystal â
33. Duw.
Phil. 2. 6.
‡ gydradd. 19 Yna'r Iesu a attebodd ac a ddywed-
odd wrthynt, Yn wir, yn wir, meddaf i
i Adn. 30. chwi, i Ni ddichon y Mab wneuthur dim
Pen. 8. 38. o hono ei hunan, eithr yr hyn a welo efe
a 9. 4. a 12.
49. a 14. 10. y Tad yn ei wneuthur: canys beth byn-
nag y mae efe yn ei wneuthur, hynny hefyd
y mae y Mab yr un ffunud yn ei wneu-
thur.
k Pen. 3. 20 Canys y k Tad sydd yn caru'r Mab, ac
35. yn dangos iddo yr hyn oll y mae efe yn ei
wneuthur: ac efe a ddengys iddo ef weith-
redoedd mwy nâ'r rhai hyn, fel y rhyfed-
doch chwi.
21 Oblegid megis y mae y Tad yn cyf-
odi y rhai meirw, ac yn *eu* bywhâu; felly
hefyd y mae'r Mab yn bywhâu y rhai a
fynno.
22 Canys y Tad nid yw yn barnu neb;
l Mat. 11. eithr l efe a roddes bob barn i'r Mab:
27. a 28.
18. 23 Fel yr anrhydeddai pawb y Mab, fel
Adn. 27. y maent yn anrhydeddu'r Tad. m Yr hwn
Pen. 3. 35. nid yw yn anrhydeddu'r Mab, nid yw yn
a 17. 2. anrhydeddu'r Tad yr hwn a'i hanfonodd
m 1 Ioan ef.
2. 23.
n Pen. 3. 24 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, n Y
18. a 6. 40, neb sydd yn gwrando fy ngair i, ac yn credu
47. a 8. 51. i'r hwn a'm hanfonodd i, a gaiff fywyd tra-
gywyddol, ac ni ddaw i farn; eithr efe a
aeth trwodd o farwolaeth i fywyd.
25 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Y mae'r
o Eph. 2. 1, awr yn dyfod, ac yn awr y mae, o pan
5. glywo y meirw lef Mab Duw: a'r rhai a gly-
want, a fyddant byw.
26 Canys megis y mae gan y Tad fywyd
ynddo ei hunan, felly y rhoddes efe i'r
Mab hefyd fod ganddo fywyd ynddo ei hun;
27 Ac p a roddes awdurdod iddo i wneu- p Adn. 22.
thur barn hefyd, o herwydd ei fod yn Fab Act. 10. 42.
dyn. a 17. 31.
Edrych
28 Na ryfeddwch am hyn: canys y mae'r Dan. 7. 13,
awr yn dyfod, yn yr hon y caiff pawb a'r 14.
sydd yn y beddau glywed ei leferydd ef:
29 A q *hwy* a ddeuant allan: y rhai a q Dan. 12.
wnaethant dda, i adgyfodiad bywyd; ond y 2.
rhai a wnaethant ddrwg, i adgyfodiad barn. Mat. 25. 32,
33, 46.
30 r Ni allaf fi wneuthur dim o honof fy 1 Thes. 4.
hunan: fel yr ydwyf yn clywed, yr ydwyf 16.
yn barnu: a'm barn i sydd gyfiawn; canys r Adn. 19.
s nid ydwyf yn ceisio fy ewyllys fy hunan, s Pen. 6. 38.
ond ewyllys y Tad yr hwn a'm hanfon-
odd i.
31 t Os ydwyf fi yn tystiolaethu am danaf t Pen. 8.
fy hunan, nid yw fy nhystiolaeth i wir. 14.
32 ¶ u Arall sydd yn tystiolaethu am danaf u Mat. 3.
fi; ac mi wn mai gwir yw y dystiolaeth y 17. a 17. 5.
mae efe yn ei thystiolaethu am danaf fi.
33 x Chwychwi a anfonasoch at Ioan, ac x Pen. 1.
efe a ddug dystiolaeth i'r gwirionedd. 15, 19, 27.
34 Ond myfi nid ydwyf yn derbyn tyst-
iolaeth gan ddyn: eithr y pethau hyn yr
ydwyf yn eu dywedyd, fel y gwareder
chwi.
35 Efe oedd ganwyll yn llosgi, ac y yn y 2 Petr 1.
goleuo; a z chwithau oeddych ewyllysgar i 19.
orfoleddu dros amser yn ei oleuni ef. z Edrych
Mat. 13. 20.
36 ¶ Ond a y mae gennyf fi dystiolaeth a 1 Ioan 5.
fwy nag Ioan: canys b y gweithredoedd a 9.
roddes y Tad i mi i'w gorphen, y gweithre- b Pen. 10.
doedd hynny y rhai yr ydwyf fi yn eu 25.
gwneuthur, sy'n tystiolaethu am danaf fi,
mai'r Tad a'm hanfonodd i.
37 A'r Tad, yr hwn a'm hanfonodd i, c efe c Mat. 3.
a dystiolaethodd am danaf fi. *Ond* ni chlyw- 17. a 17. 5.
soch chwi ei lais ef un amser, d ac ni welsoch Pen. 8. 18.
ei wedd ef. d Deut. 4.
12.
38 Ac nid oes gennych chwi mo'i air ef 1 Tim. 1.
yn aros ynoch: canys yr hwn a anfonodd 17. a 6. 16.
efe, hwnnw nid ydych chwi yn credu 1 Ioan 4.
iddo. 12.
39 ¶ e Chwiliwch yr ysgrythyrau; canys e Esay 8.
ynddynt hwy yr ydych chwi yn medd- 20. a 34. 16.
wl cael bywyd tragywyddol: a f hwynt- Luc 16. 29.
hwy yw y rhai sy'n tystiolaethu am da- Act. 17. 11.
naf fi. f Deut. 18.
15, 18.
40 Ond ni fynnwch chwi ddyfod attaf fi, Luc 24. 27.
fel y caffoch fywyd. Pen. 1. 45.
41 Nid ydwyf fi yn derbyn gogoniant
oddi wrth ddynion.
42 Ond myfi a'ch adwaen chwi, nad oes
gennych gariad Duw ynoch.
43 Myfi a ddaethum yn enw fy Nhad, ac
nid ydych yn fy nerbyn i: os arall a ddaw
yn ei enw ei hun, hwnnw a dderbyniwch.
44 g Pa fodd y gellwch chwi gredu, y rhai g Pen. 12.
ydych yn derbyn gogoniant gan eich gilydd, 43.
ac heb geisio h y gogoniant *sydd* oddi wrth h Rhuf. 2.
Dduw yn unig? 29.
45 Na thybiwch y cyhuddaf fi chwi wrth
y Tad: i y mae a'ch cyhudda chwi, *sef* i Rhuf. 2.
Moses, yn yr hwn yr ydych yn gobeithio. 12.
46 Canys pe credasech chwi i Moses, k Gen. 3.
chwi a gredasech i minnau: oblegid k am 15. a 12. 3.
danaf fi yr ysgrifenodd efe. a 18. 18. a
22. 18. a 49.
47 Ond os chwi ni chredwch i'w ysgrif- 10.
enadau ef, pa fodd y credwch i'm geir- Deut. 18.
iau i? 15, 18.
Act. 26. 22.

## PEN. VI.

1 *Crist yn porthi pum mil o bobl â phum torth,*
*a dau bysgodyn.* 15 *A'r bobl o herwydd*
*hynny yn ceisio ei wneuthur ef yn frenhin.*
16 *Ac yntau yn cilio o'r neilldu, ac yn*
*rhodio ar y môr at ei ddisgyblion.* 26 *ac*

*yn ceryddu y bobl oedd yn heidio ar ei ôl, a holl gnawdol wrandaw-wŷr ei air: 32 ac yn danges mai efe yw bara y bywyd i'r ffyddloniaid. 66 Llawer o ddisgyblion yn ymadael ag ef. 68 Petr yn ei gyffesu ef. 70 Bod Judas yn gythraul.*

32. WEDI'r pethau hyn yr aeth yr Iesu
dros fôr Galilea, hwnnw yw *môr* Ti-
berias.
2 A thyrfa fawr a'i canlynodd ef; canys
hwy a welsent ei arwyddion y rhai a wnae-
thai efe ar y cleifion.
3 A'r Iesu a aeth i fynu i'r mynydd, ac a
eisteddodd yno gyd â'i ddisgyblion.
a Lef. 23. 5, 7. Deut. 16. 1. 4 a A'r pasg, gwyl yr Iuddewon, oedd yn
agos.
5 ¶ b Yna'r Iesu a ddyrchafodd *ei* lyg-
b Mat. 14. 14. aid, ac a welodd fod tyrfa fawr yn dyfod
atto; ac a ddywedodd wrth Phylip, O ba le
Marc 6. 35. y prynwn ni fara, fel y caffo y rhai hyn
Luc 9. 12. fwytta?
6 (A hyn a ddywedodd efe i'w brofi ef:
canys efe a wyddai beth yr oedd efe ar fedr
ei wneuthur)
c Edrych Num. 11. 21, 22. 7 Phylip a'i hattebodd ef, c Gwerth dau
can ceiniog o fara nid yw ddigon iddynt
hwy, fel y gallo pob un o honynt gymmeryd
ychydig.
8 Un o'i ddisgyblion a ddywedodd wrtho;
Andreas, brawd Simon Petr,
9 Y mae yma ryw fachgennyn, a
chanddo bùm torth haidd, a dau bysg-
d 2 Bren. 4. 43. odyn: d ond beth yw hynny rhwng cyn-
nifer?
10 A'r Iesu a ddywedodd, Perwch i'r
dynion eistedd i lawr. Ac yr oedd glas-
wellt lawer yn y fan *honno.* Felly y gwŷr a
eisteddasant i lawr, ynghylch pum mil o
nifer.
11 A'r Iesu a gymmerth y torthau, ac
wedi iddo ddïolch, efe a'u rhannodd i'r
disgyblion, a'r disgyblion i'r rhai oedd yn
eistedd; felly hefyd o'r pysgod, cymmaint
ag a fynnasant.
12 Ac wedi eu digoni hwynt, efe a ddy-
wedodd wrth ei ddisgyblion, Cesglwch y
briw-fwyd gweddill, fel na choller dim.
13 Am hynny hwy a'u casglasant, ac a
lanwasant ddeuddeg basgedaid o'r briwfwyd
o'r pum torth haidd a weddillasai gan y rhai
a fwyttasent.
14 Yna y dynion, pan welsant yr arwydd
a wnaethai'r Iesu, a ddywedasant, Hwn yn
e Deut. 18. 15, 18. ddïau yw e y prophwyd oedd ar ddyfod i'r
byd.
Pen. 1. 21. a 7. 40. 15 ¶ Yr Iesu gan hynny, pan wybu eu
bod hwy ar fedr dyfod, a'i gipio ef i'w
wneuthur yn frenhin, a giliodd drachefn i'r
mynydd, ei hunan yn unig.
f Mat. 14. 23. 16 f A phan hwyrhaodd hi, ei ddisgyblion
Marc 6. 47. a aethant i wared at y môr.
17 Ac wedi iddynt ddringo i long, hwy a
aethant dros y môr i Capernaum. Ac yr
oedd hi weithian yn dywyll, a'r Iesu ni dda-
ethai attynt hwy.
18 A'r môr, gan wŷnt mawr yn chwythu,
a gododd.
19 Yna, wedi iddynt rwyfo ynghylch
pump ar hugain neu ddeg ar hugain o sta-
diau, hwy a welent yr Iesu yn rhodio ar y
môr, ac yn nesâu at y llong; ac a ofna-
sant.
20 Ond efe a ddywedodd wrthynt, Myfi
yw; nac ofnwch.
21 Yna y derbyniasant ef yn chwan-
nog i'r llong: ac yn ebrwydd yr oedd y
llong wrth y tir yr oeddynt yn myned
iddo.
22 ¶ Trannoeth, pan welodd y dyrfa
oedd yn sefyll y tu hwnt i'r môr, nad oedd
un llong arall yno ond yr un honno i'r hon
yr aethai ei ddisgyblion ef, ac nad aethai'r
Iesu gyd â'i ddisgyblion i'r llong, ond my-
ned o'i ddisgyblion ymaith eu hunain;
23 (Eithr llongau eraill a ddaethent o Ti-
berias yn gyfagos i'r fan lle y bwyttasent
hwy fara, wedi i'r Arglwydd roddi diolch)
24 Pan welodd y dyrfa gan hynny nad
oedd yr Iesu yno, na'i ddisgyblion, hwy-
thau a aethant i longau, ac a ddaethant i
Capernaum, dan geisio'r Iesu.
25 Ac wedi iddynt ei gael ef y tu hwnt
i'r môr, hwy a ddywedasant wrtho, Rabbi,
pa bryd y daethost ti yma?
26 Yr Iesu a attebodd iddynt, ac a ddy-
wedodd, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi,
Yr ydych chwi yn fy ngheisio i, nid o
herwydd i chwi weled y gwyrthiau, eithr
o herwydd i chwi fwytta o'r torthau, a'ch
digoni.
27 † Llafuriwch nid am y bwyd a ‡ dder- † *Gweithiwch.*
fydd, eithr am g y bwyd a bery i fywyd ‡ *gyll.*
tragywyddol, yr hwn a ddyry Mab y g Pen. 14. 14.
dyn i chwi: h canys hwn a seliodd Duw Adn. 54.
Dad. h Mat. 3.
28 Yna y dywedasant wrtho, Pa beth a 17. a 17. 5.
wnawn ni, fel y gweithredom weithredoedd Marc 1. 11.
Duw? a 9. 7.
29 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd Luc 3. 22.
wrthynt, i Hyn yw gwaith Duw; credu o a 9. 35.
honoch yn yr hwn a anfonodd efe. Pen. 1. 33.
30 Dywedasant gan hynny wrtho ef, k Pa a 5. 37. a 8. 18.
arwydd yr ydwyt ti yn ei wneuthur, fel y 2 Petr 1.
gwelom, ac y credom i ti? pa beth yr wyt 17.
ti yn ei weithredu? i 1 Ioan 3. 23.
31 l Ein tadau ni a fwyttasant y manna k Mat. 12.
yn yr anialwch, fel y mae yn ysgrifenedig, 38. a 16. 1.
m Efe a roddodd iddynt fara o'r nef i'w Marc 8. 11.
fwytta. 1 Cor. 1. 22.
32 Yna'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn l Exod. 16. 15.
wir, yn wir, meddaf i chwi, Nid Moses Num. 11. 7.
a roddodd i chwi y bara o'r nef: eithr Doeth 16. 20.
fy Nhad sydd yn rhoddi i chwi y gwir fara 1 Cor. 10.
o'r nef. 3.
33 Canys bara Duw ydyw yr hwn sydd m Psal. 78.
yn dyfod i wared o'r nef, ac yn rhoddi by- 24, 25.
wyd i'r byd. n Edrych
34 n Yna hwy a ddywedasant wrtho, Ar- Pen. 4. 15.
glwydd, dyro i ni y bara hwn yn wastadol.
35 A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Myfi
yw bara'r bywyd. o Yr hwn sydd yn dyfod o Pen. 4.
attaf fi, ni newyna; a'r hwn sydd yn credu 14. a 7. 37.
ynof fi, ni sycheda un amser.
36 Eithr dywedais wrthych, i chwi fy
ngweled, ac nad ydych yn credu.
37 Yr hyn oll y mae'r Tad yn ei roddi i
mi, a ddaw attaf fi: a'r p hwn a ddêl attaf p Mat. 24. 24.
fi, ni's bwriaf ef allan ddim. Pen. 10. 28,
38 Canys myfi a ddisgynais o'r nef, q nid 29.
i wneuthur fy ewyllys fy hun, ond ewyllys 2 Tim. 2. 19.
yr hwn a'm hanfonodd. 1 Ioan 2.
39 A hyn yw ewyllys y Tad a'm hanfon- 19.
odd i; r o'r cwbl a roddes efe i mi, na choll- q Mat. 26. 39.
wn ddim o hono, eithr bod i mi ei adgyfodi Pen. 5. 30.
ef yn y dydd diweddaf. r Pen. 10.
40 A hyn yw ewyllys yr hwn a'm hanfon- 28. a 17. 12.
odd i; s cael o bob un a'r sydd yn gweled y a 18. 9.
Mab, ac yn credu ynddo ef, fywyd tragy- s Pen. 3. 16.
wyddol: a myfi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd a 4. 14.
diweddaf. Adn. 27. 54.
41 Yna yr Iuddewon a rwgnachasant § *am hyn-*
§ yn ei erbyn ef, o herwydd iddo ddy- *ny.*

wedyd, Myfi yw'r bara a ddaeth i wared
o'r nef.
t Mat. 13. 42 A hwy a ddywedasant, [t] Onid hwn
55. Marc 6. 3. yw Iesu mab Joseph, tad a mam yr hwn a
Luc 4. 22. adwaenom ni? pa fodd gan hynny y mae
efe yn dywedyd, O'r nef y disgynais?
43 Yna'r Iesu a attebodd ac a ddy-
wedodd wrthynt, Na furmurwch wrth eich
gilydd.
u Can. 1. 44 [u] Ni ddichon neb ddyfod attaf fi,
4. Adn. 65. oddi eithr i'r Tad, yr hwn a'm hanfonodd,
ei dynnu ef: a myfi a'i hadgyfodaf ef y
dydd diweddaf.
x Esay 54. 45 [x] Y mae yn ysgrifenedig yn y pro-
13. Jer. 31. 34. phwydi, A phawb a fyddant wedi eu dysgu
Heb. 8. 10. gan Dduw. Pob un gan hynny a glywodd
a 10. 16. gan y Tad, ac a ddysgodd, sydd yn dyfod
attaf fi.
y Mat. 11. 46 [y] Nid o herwydd gweled o neb y Tad,
27. Luc 10. 22. ond yr hwn sydd o Dduw; efe a welodd y
Pen. 1. 18. Tad.
a 7. 29. a 47 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, [z] Yr
8. 19. hwn sydd yn credu ynof fi, sydd ganddo
z Pen. 3. 16, 18, 36. fywyd tragywyddol.
48 Myfi yw bara'r bywyd.
a Adn. 31. 49 [a] Eich tadau chwi a fwyttasant y man-
na yn yr anialwch, ac a fuont feirw.
b Adn. 51, 58. 50 [b] Hwn yw'r bara sydd yn dyfod i
wared o'r nef, fel y bwyttao dyn o hono, ac
na byddo marw.
c Pen. 3. 13. 51 Myfi yw'r bara bywiol, [c] yr hwn
a ddaeth i wared o'r nef. Os bwytty
neb o'r bara hwn, efe a fydd byw yn
d Heb. 10. 5, 10. dragywydd. A'r [d] bara a roddaf fi, yw
fy nghnawd i, yr hwn a roddaf fi dros fy-
wyd y byd.
e Pen. 7. 43. a 9. 16. 52 Yna'r Iuddewon [e] a ymrysonasant â'u
a 10. 19. gilydd, gan ddywedyd, [f] Pa fodd y dichon
f Pen. 3. 9. hwn roddi i ni *ei* gnawd i'*w* fwytta?
53 Yna'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn
g Mat. 26. 26, 28. wir, yn wir, meddaf i chwi, Oni [g] fwyt-
têwch gnawd Mab y dyn, ac *oni* yfwch ei
waed ef, nid oes gennych fywyd ynoch.
h Pen. 4. 14. 54 [h] Yr hwn sydd yn bwytta fy nghnawd
Adn. 27. i, ac yn yfed fy ngwaed i, sydd ganddo
fywyd tragywyddol: ac myfi a'i hadgy-
fodaf ef yn y dydd diweddaf.
55 Canys fy nghnawd i sydd fwyd yn wir,
a'm gwaed i sydd ddïod yn wir.
56 Yr hwn sydd yn bwytta fy nghnawd
i, ac yn yfed fy ngwaed i, sydd yn aros
ynof fi, a minnau ynddo yntau.
57 Fel yr anfonodd y Tad byw fi, ac yr
ydwyf fi yn byw trwy'r Tad: felly yr hwn
sydd yn fy mwytta i, yntau a fydd byw
trwof fi.
i Adn. 50, 51. 58 [i] Dyma'r bara a ddaeth i wared o'r
nef: nid megis y bwyttaodd eich tadau
chwi y manna, ac y buont feirw. Y neb
sydd yn bwytta'r bara hwn, a fydd byw yn
dragywydd.
59 Y pethau hyn a ddywedodd efe yn
y synagog, wrth athrawiaethu yn Caper-
naum.
60 Llawer gan hynny o'i ddisgyblion,
pan glywsant, a ddywedasant, Caled yw'r
ymadrodd hwn; pwy a ddichon wrando
arno?
61 Pan wybu'r Iesu ynddo ei hun, fod
ei ddisgyblion yn grwgnach am hyn, efe a
ddywedodd wrthynt, A ydyw hyn yn eich
k Pen. 3. 13. rhwystro chwi?
Act. 1. 9. 62 *Beth* gan hynny os gwelwch Fab y dyn
Eph. 4. 8. yn dyrchafu [k] lle'r oedd efe o'r blaen?
l 2 Cor. 3. 6. 63 [l] Yr yspryd yw'r hyn sydd yn byw-
hâu; y cnawd nid yw yn llesâu dim: y
geiriau yr ydwyf fi yn eu llefaru wrthych,
yspryd ydynt, a bywyd ydynt.
64 Ond y mae o honoch chwi rai nid
ydynt yn credu. Canys [m] yr Iesu a wyddai m Pen. 2. 24, 25. a 13. 11.
o'r dechreuad, pwy oedd y rhai nid oedd
yn credu, a phwy oedd yr hwn a'i brad-
ychai ef.
65 Ac efe a ddywedodd, Am hynny [n] y n Adn. 44, 45.
dywedais wrthych, na ddichon neb ddyfod
attaf fi, oni bydd wedi ei roddi iddo oddi
wrth fy Nhad.
66 ¶ O hynny allan llawer o'i ddisgyblion
ef a aethant yn eu hol, ac ni rodiasant
mwyach gyd ag ef.
67 Am hynny yr Iesu a ddywedodd wrth
y deuddeg, A fynnwch chwithau hefyd
fyned ymaith?
68 Yna Simon Petr a'i hattebodd ef, O
Arglwydd, at bwy yr awn ni? gennyt ti y
mae [o] geiriau bywyd tragywyddol. o Act. 5. 20.
69 Ac yr ydym ni yn credu, ac yn
gwybod mai [p] tydi yw y Crist, Mab y Duw p Mat. 16. 16.
byw. Pen. 1. 49.
70 Iesu a'u hattebodd hwynt, [q] Oni dde- a 11. 27.
wisais i chwychwi y deuddeg, [r] ac o ho- q Luc 6. 13.
noch y mae un yn ddiafol?
71 Eithr efe a ddywedasai am Judas Is- r Pen. 13. 27.
cariot, *mab* Simon: canys hwn oedd ar fedr
ei fradychu ef, ac efe yn un o'r deuddeg.

## PEN. VII.

1 *Iesu yn argyoeddi rhyfyg a hyfder ei geraint:* 10 *yn myned i fynu o Galilea i wyl y pebyll:* 14 *yn dysgu yn y deml.* 40 *Amryw dyb am dano ef ym mhlith y bobl.* 45 *Y Phariseaid yn ddigllon am na ddaliasai eu swyddogion hwy ef; ac yn rhoddi sen i Nicodemus am gymmeryd ei blaid ef.*

A'R Iesu a rodiodd ar ol y pethau hyn yn 32.
Galilea: canys nid oedd efe yn chwen-
nych rhodio yn Judea, oblegid bod yr Iudde-
won yn ceisio ei ladd ef.
2 [a] A gwyl yr Iuddewon, *sef* gwyl y a Lef. 23. 34.
pebyll, oedd yn agos.
3 [b] Am hynny ei frodyr ef a ddywed- b Mat. 12. 46.
asant wrtho, Cerdda ymaith oddi yma, Marc 3. 31.
a dos i Judea; fel y gwelo dy ddisgyblion Act. 1. 14.
dy weithredoedd di y rhai yr ydwyt yn eu
gwneuthur.
4 Canys nid oes neb yn gwneuthur dim
yn ddirgel, ac yntau yn ceisio bod yn gy-
hoedd: od wyt ti yn gwneuthur y pethau
hyn, amlyga dy hun i'r byd.
5 Canys [c] nid oedd ei frodyr yn credu c Marc 3. 21.
ynddo.
6 Yna'r Iesu a ddywedodd wrthynt hwy,
[d] Ni ddaeth fy amser i etto: ond eich amser d Pen. 2. 4. a 8. 20.
chwi sydd yn wastad yn barod. Adn. 8, 30.
7 [e] Ni ddichon y byd eich casâu chwi; e Pen. 15. 19.
ond myfi y mae yn ei gasâu, [f] o herwydd
fy mod i yn tystiolaethu am dano, fod ei f Pen. 3. 19
weithredoedd ef yn ddrwg.
8 Ewch chwi i fynu i'r wyl hon: nid wyf
fi etto yn myned i fynu i'r wyl hon, [g] oble- g Pen. 8. 20.
gid ni chyflawnwyd fy amser i etto.
9 Gwedi iddo ddywedyd y pethau hyn
wrthynt, efe a arhosodd yn Galilea.
10 ¶ Ac wedi myned o'i frodyr ef i fynu,
yna yntau hefyd a aeth i fynu i'r wyl; nid
yn amlwg, ond megis yn ddirgel. h Pen. 11. 56.
11 [h] Yna'r Iuddewon a'i ceisiasant ef yn i Pen. 9. 16.
yr wyl, ac a ddywedasant, Pa le y mae efe? a 10. 19.
12 A [i] murmur mawr oedd am dano ef k Mat. 21. 46.
ym mysg y bobl. Canys [k] rhai a ddywed- Luc 7. 16.
ent, Gwr da yw: ac eraill a ddywedent, Pen. 6. 14.
Nag ê; eithr twyllo'r bobl y mae. Adn. 40.

13 Er hynny ni lefarodd neb yn eglur am dano ef, [l] rhag ofn yr Iuddewon.

14 ¶ *Ac* yr awrhon ynghylch canol yr wyl, yr Iesu a aeth i fynu i'r deml, ac a athrawiaethodd.

15 A'r Iuddewon a ryfeddasant, gan ddywedyd, Pa fodd y † medr hwn ddysgeidiaeth, *ac yntau* heb ddysgu?

16 Yr Iesu a attebodd iddynt, ac a ddywedodd, [m] Fy nysgeidiaeth nid eiddof fi yw, eithr eiddo yr hwn a'm hanfonodd i.

17 Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys ef, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru.

18 [n] Y mae 'r hwn sydd yn llefaru o hono ei hun, yn ceisio ei ogoniant ei hun: ond yr hwn sydd yn ceisio gogoniant yr hwn a'i hanfonodd, hwnnw sydd eirwir, ac anghyfiawnder nid oes ynddo ef.

19 [o] Oni roddes Moses i chwi y gyfraith, ac nid oes neb o honoch yn gwneuthur y gyfraith? [p] Paham yr ydych yn ceisio fy lladd i?

20 Y bobl a attebodd ac a ddywedodd, [q] Y mae gennyt ti gythraul: pwy sydd yn ceisio dy ladd di?

21 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Un weithred a wneuthum, ac yr ydych oll yn rhyfeddu.

22 [r] Am hynny y rhoddes Moses i chwi yr enwaediad (nid o herwydd ei fod o Moses, [s] eithr o'r tadau) ac yr ydych yn enwaedu ar ddyn ar y sabbath.

23 Os yw dyn yn derbyn enwaediad ar y sabbath, ‡ heb dorri cyfraith Moses; a ydych yn llidiog wrthyf fi, am [t] i mi wneuthur dyn yn holliach ar y sabbath?

24 [u] Na fernwch wrth y golwg, eithr bernwch farn gyfiawn.

25 Yna y dywedodd rhai o'r § Jerosolymitaniaid, Onid hwn yw'r un y maent hwy yn ceisio ei ladd?

26 Ac wele, y mae yn llefaru ar gyhoedd, ac nid ydynt yn dywedyd dim wrtho ef: a wybu y pennaethiaid mewn gwirionedd mai hwn yw Crist yn wir?

27 [x] Eithr nyni a adwaenom hwn o ba le y mae: eithr pan ddêl Crist, ni's gŵyr neb o ba le y mae.

28 Am hynny yr Iesu, wrth athrawiaethu yn y deml, a lefodd ac a ddywedodd, [y] Chwi a'm hadwaenoch i, ac a wyddoch o ba le yr ydwyf fi: ac [z] ni ddaethum i o honof fy hun, eithr y mae [a] yn gywir yr hwn a'm hanfonodd i, [b] yr hwn nid adwaenoch chwi.

29 Ond [c] myfi a'i hadwaen: oblegid o hono ef yr ydwyf fi, ac efe a'm hanfonodd i.

30 Am hynny [d] hwy a geisiasant ei ddal ef: ond [e] ni osododd neb law arno, am na ddaethai ei awr ef etto.

31 A [f] llawer o'r bobl a gredasant ynddo, ac a ddywedasant, Pan ddelo Crist, a wna efe fwy o arwyddion nâ'r rhai hyn a wnaeth hwn?

32 ¶ Y Phariseaid a glywsant fod y bobl yn murmur y pethau hyn am dano ef; a'r Phariseaid a'r arch-offeiriaid a anfonasant swyddogion i'w ddal ef.

33 Am hynny y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy, [g] Yr ydwyf fi ychydig amser etto gyd â chwi, ac yr wyf yn myned at yr hwn a'm hanfonodd.

34 [h] Chwi a'm ceisiwch, ac ni'm cewch: a lle yr ydwyf fi, ni ellwch chwi ddyfod.

[l] Pen. 9. 22. a 12. 42. a 19. 38.
† *Gr. pa fodd y gŵyr hwn lythyrennau?*
[m] Pen. 3. 11. a 8. 28. a 12. 49. a 14. 10, 24.
[n] Pen. 5. 41.
[o] Exod. 24. 3. Act. 7. 35, &c.
[p] Pen. 5. 16, 18. a 10. 39. a 11. 53.
[q] Pen. 8. 48, 52. a 10. 20.
[r] Lef. 12. 3.
[s] Gen. 17. 10.
‡ *fel na thorrer.*
[t] Pen. 5. 8, 9.
[u] Deut. 1. 16. Diar. 24. 23.
§ Sef, *trigolion Jerusalem.*
[x] Mat. 13. 55. Marc 6. 3. Luc 4. 22.
[y] Edrych Pen. 8. 14.
[z] Pen. 5. 43. a 8. 42.
[a] Pen. 5. 32. a 8. 26.
[b] Pen. 1. 18. a 8. 55.
[c] Mat. 11. 27. Pen. 10. 15.
[d] Marc 11. 18. Luc 19. 47. a 20. 19. Adn. 19. Pen. 8. 37.
[e] Adn. 44. Pen. 8. 20.
[f] Pen. 8. 30.
[g] Pen. 16. 16.
[h] Hos. 5. 6. Pen. 8. 21. a 13. 33.

35 Yna y dywedodd yr Iuddewon yn eu mysg eu hunain, I ba le y mae hwn ar fedr myned, fel na chaffom ni ef? ai at [i] y rhai sydd ar wasgar ym mhlith ‖ y Groegiaid y mae efe ar fedr myned, a dysgu 'r Groegiaid?

36 Pa ymadrodd yw hwn a ddywedodd efe, Chwi a'm ceisiwch, ac ni'm cewch: a lle'r ydwyf fi, ni ellwch chwi ddyfod?

37 [k] Ac ar y dydd diweddaf, y *dydd* mawr o'r wyl, y safodd yr Iesu, ac a lefodd, gan ddywedyd, [l] Od oes ar neb syched, deued attaf fi, ac yfed.

38 [m] Yr hwn sydd yn credu ynof fi, megis y dywedodd yr ysgrythyr, [n] afonydd o ddwfr bywiol a ddylifant o'i † groth ef.

39 (A hyn a ddywedodd efe [o] am yr Yspryd, yr hwn a gai y rhai a gredent ynddo ef ei dderbyn: canys etto nid oedd yr Yspryd Glân *wedi ei roddi*, o herwydd na ogoneddasid [p] yr Iesu etto)

40 ¶ Am hynny llawer o'r bobl, wedi clywed yr ymadrodd hwn, a ddywedasant, Yn wir hwn [q] yw 'r Prophwyd.

41 Eraill a ddywedasant, [r] Hwn yw Crist. Eraill a ddywedasant, Ai [s] o Galilea y daw Crist?

42 [t] Oni ddywedodd yr ysgrythyr, Mai o had Dafydd, ac o Bethlehem, [u] y dref lle y bu Ddafydd, y mae Crist yn dyfod?

43 Felly [x] yr aeth ymrafael ym mysg y bobl o'i blegid ef.

44 A [y] rhai o honynt a fynnasent ei ddal ef: ond ni osododd neb ddwylaw arno.

45 ¶ Yna y daeth y swyddogion at yr arch-offeiriaid a'r Phariseaid; a hwy a ddywedasant wrthynt hwy, Paham na ddygasoch chwi ef?

46 A'r swyddogion a attebasant, Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn.

47 Yna y Phariseaid a attebasant iddynt, A hudwyd chwithau hefyd?

48 [z] A gredodd neb o'r pennaethiaid ynddo ef, neu o'r Phariseaid?

49 Eithr y bobl hyn, y rhai ni wyddant y gyfraith, melldigedig ydynt.

50 Nicodemus ([a] yr hwn a ddaethai ‡ at yr Iesu o hŷd nos, ac oedd un o honynt) a ddywedodd wrthynt,

51 [b] A ydyw ein cyfraith ni yn barnu dyn, oddi eithr clywed ganddo ef yn gyntaf, a gwybod beth a wnaeth efe?

52 Hwythau a attebasant ac a ddywedasant wrtho, A ydwyt tithau o Galilea? Chwilia a gwel, na chododd prophwyd [c] o Galilea.

53 A phob un a aeth i'w dŷ ei hun.

[i] Esay 11. 12. Iago 1. 1. 1 Petr 1. 1.
‖ *Neu, y Cenhedloedd.*
[k] Lef. 23. 36.
[l] Esay 55. 1. Pen. 6. 35. Dat. 22. 17.
[m] Deut. 18. 15.
[n] Diar. 18. 4. Esay 12. 3. a 44. 3. Pen. 4. 14.
† *fol.*
[o] Joel 2. 28. Pen. 6. 7. Act. 2. 17.
[p] Pen. 12. 16. a 16. 7.
[q] Deut. 18. 15, 18. Pen. 1. 21. a 6. 14.
[r] Pen. 4. 42.
[s] Pen. 1. 46. Adn. 52.
[t] Psal. 132. 11. Michah 5. 2. Mat. 2. 5. Luc 2. 4.
[u] 1 Sam. 16. 1, 4.
[x] Pen. 9. 16. a 10. 19.
[y] Adn. 30.
[z] Pen. 12. 42. Act. 6. 7. 1 Cor. 1. 20. a 2. 8.
[a] Pen. 3. 2.
‡ *atto ef.*
[b] Deut. 1. 17. a 17. 8, &c. a 19. 15.
[c] Esay 9. 1, 2. Mat. 4. 15. Pen. 1. 46.

## PEN. VIII.

1 *Crist yn gwaredu y wraig a ddaliesid mewn godineb:* 12 *yn pregethu ei fod ef ei hun yn oleuni y byd; ac yn gwirio ei athrawiaeth:* 33 *yn atteb yr Iuddewon a wnaent eu bost o Abraham;* 59 *ac yn gochelyd eu creulondeb hwy.*

A'R Iesu a aeth i fynydd yr Olewydd: 32.
2 Ac a ddaeth drachefn y bore i'r deml; a'r holl bobl a ddaeth atto ef: yntau a eisteddodd, ac a'u dysgodd hwynt.

3 A'r ysgrifenyddion a'r Phariseaid a ddygasant atto ef wraig yr hon a ddaliesid mewn godineb; ac wedi ei gosod hi yn y canol,

4 Hwy a ddywedasant wrtho, Athraw, y wraig hon a ddaliwyd ar y weithred yn godinebu.

a Lef. 20. 5 a A Moses yn y gyfraith a orchymynodd
10. Deut. 22. i ni labyddio y cyfryw: beth gan hynny yr
22. wyt ti yn ei ddywedyd?
6 A hyn a ddywedasant hwy, gan ei dem-
tio ef, fel y gallent ei gyhuddo ef. Eithr
yr Iesu, wedi ymgrymmu tu a'r llawr, a
'sgrifenodd â'i fys ar y ddaear, heb gymme-
ryd arno eu clywed.
7 Ond fel yr oeddynt hwy yn parhâu yn
gofyn iddo, efe a ymuniawnodd, ac a
b Deut. 17. ddywedodd wrthynt, b Yr hwn sydd ddi-
7. bechod o honoch, tafled yn gyntaf garreg
atti hi.
8 Ac wedi iddo eilwaith ymgrymmu tu
a'r llawr, efe a ysgrifenodd ar y ddaear.
9 Hwythau pan glywsant *hyn*, wedi hefyd
eu hargyoeddi gan eu cydwybod, a aethant
allan o un i un, gan ddechreu o'r hynaf
hyd yr olaf: a gadawyd yr Iesu yn unig,
a'r wraig yn sefyll yn y canol.
10 A'r Iesu wedi ymuniawnu, ac heb
weled neb ond y wraig, a ddywedodd wrthi,
*Ha* wraig, pa le y mae dy gyhuddwŷr di?
oni chondemniodd neb di?
11 Hithau a ddywedodd, Na ddo neb,
Arglwydd. A dywedodd yr Iesu wrthi,
Nid wyf finnau yn dy gondemnio di: dos,
ac na phecha mwyach.
12 ¶ Yna y llefarodd yr Iesu wrthynt
c Pen. 1. 4, drachefn, gan ddywedyd, c Goleuni y byd
9. a 9. 5. a ydwyf fi: yr hwn a'm dilyno i, ni rodia
12. 35, 36, mewn tywyllwch, eithr efe a gaiff oleuni
46. y bywyd.
13 Am hynny y Phariseaid a ddywed-
d Pen. 5. asant wrtho, d Tydi sydd yn tystiolaethu
31. am danat dy hun; nid yw dy dystiolaeth di
wir.
14 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt hwy, Er fy mod i yn tystiolaethu
am danaf fy hun, y mae fy nhystiolaeth i yn
wir: oblegid mi a wn o ba le y daethum,
e Pen. 7. 28. ac i ba le yr ydwyf yn myned; e chwithau
a 9. 29. ni's gwyddoch o ba le yr wyf fi yn dyfod,
nac i ba le yr wyf fi yn myned.
15 Chwychwi sydd yn barnu yn ol y
f Pen. 3. 17. cnawd; f nid ydwyf fi yn barnu neb.
a 12. 47. a 16 Ac etto os wyf fi yn barnu, y mae fy
18. 36. marn i yn gywir: oblegid g nid wyf fi yn
g Adn. 29. unig, ond myfi a'r Tad yr hwn a'm hanfon-
odd i.
h Deut. 17. 17 Y h mae hefyd yn ysgrifenedig yn eich
6. a 19. 15. Mat. 18. 16. cyfraith chwi, Mai gwir yw tystiolaeth dau
2 Cor. 13. ddyn.
1. Heb. 10. 28. 18 Myfi yw'r hwn sydd yn tystiolaethu
i Pen. 5. 37. am danaf fy hun; ac i y mae'r Tad, yr
hwn a'm hanfonodd i, yn tystiolaethu am
danaf fi.
19 Yna y dywedasant wrtho, Pa le y
k Pen. 16. mae dy Dad di? Yr Iesu a attebodd, k Nid
3. adwaenoch na myfi, na'm Tad: l ped adna-
l Pen. 14. buasech fi, chwi a adnabuasech fy Nhad i
9. hefyd.
20 Y geiriau hyn a lefarodd yr Iesu yn
m Marc 12. m y trysordy, wrth athrawiaethu yn y deml:
41. ac n ni ddaliodd neb ef, am o na ddaethai ei
n Pen. 7. 30. awr ef etto.
o Pen. 7. 8. 21 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy
p Pen. 7. drachefn, Yr wyf fi yn myned ymaith, a
34. a 13. 33. p chwi a'm ceisiwch i, ac a fyddwch feirw yn
eich pechod. Lle yr wyf fi yn myned, ni
ellwch chwi ddyfod.
22 Am hynny y dywedodd yr Iuddewon,
A ladd efe ei hun? gan ei fod yn dywedyd,
Lle yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi
ddyfod.
23 Ac efe a ddywedodd wrthynt hwy,

q Chwychwi sydd oddi isod; minnau sydd q Pen. 3.
oddi uchod: chwychwi sydd o'r byd hwn; 31.
minnau nid wyf o'r byd hwn.
24 Am hynny r y dywedais wrthych, y r Adn. 21.
byddwch chwi feirw yn eich pechodau: oble-
gid oni chredwch chwi mai myfi yw *efe*,
chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau.
25 Yna y dywedasant wrtho, Pwy wyt
ti? A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Yr hyn
yr wyf yn ei ddywedyd hefyd wrthych o'r
dechreuad.
26 Y mae gennyf fi lawer o bethau i'w
dywedyd, ac i'w barnu am danoch chwi:
eithr s cywir yw'r hwn a'm hanfonodd i; s Pen. 7.
t a'r pethau a glywais i ganddo, y rhai hynny 28.
yr ydwyf fi yn eu dywedyd i'r byd. t Pen. 3.
27 Ni wyddent hwy mai am y Tad yr 32. a 15. 15
oedd efe yn dywedyd wrthynt hwy.
28 Am hynny y dywedodd yr Iesu wrth-
ynt, Pan u ddyrchafoch chwi Fab y dyn, u Pen. 3. 14.
x yna y cewch wybod mai myfi yw *efe*, ac a 12. 32.
y nad wyf fi yn gwneuthur dim o honof fy x Rhuf. 1.
hun; ond z megis y dysgodd fy Nhad fi, yr 4.
wyf yn llefaru y pethau hyn. y Pen. 5.
29 A'r a hwn a'm hanfonodd i sydd gyd 19, 30.
â myfi: b ni adawodd y Tad fi yn unig; z Pen. 3. 11.
oblegid yr wyf fi yn gwneuthur bob amser a Pen. 14.
y pethau sy foddlon ganddo ef. 10.
30 Fel yr oedd efe yn llefaru y pethau b Adn. 16.
hyn, c llawer a gredasant ynddo ef. c Pen. 7.
31 Yna y dywedodd yr Iesu wrth yr Iud- 31.
dewon a gredasent ynddo, Os arhoswch chwi
yn fy ngair i, disgyblion i mi ydych yn wir;
32 A chwi a gewch wybod y gwirionedd,
d a'r gwirionedd a'ch rhyddhâ chwi. d Rhuf. 6.
33 ¶ Hwythau a attebasant iddo, e Had 18.
Abraham ydym ni, ac ni wasanaethasom ni e Mat. 3. 9.
neb erioed: pa fodd yr wyt ti yn dywedyd, Adn. 39.
Chwi a wneir yn rhyddion?
34 Yr Iesu a attebodd iddynt, Yn wir,
yn wir, meddaf i chwi, f Pwy bynnag sydd f Rhuf. 6.
yn gwneuthur pechod, y mae efe yn was i 16, 20.
bechod. 2 Petr 2.
35 Ac g nid yw y gwas yn aros yn tŷ 19.
byth: y Mab sydd yn aros byth. g Gal. 4. 30.
36 h Os y Mab gan hynny a'ch rhyddhâ h Rhuf. 8.
chwi, rhyddion fyddwch yn wir. 2.
37 Mi a wn mai had Abraham ydych
chwi: ond yr ydych chwi yn ceisio fy lladd
i, am † nad yw fy ngair i yn genni ynoch † *nad oes*
chwi. *le i'm gair i ynoch chwi.*
38 i Yr wyf fi yn llefaru yr hyn a wel-
ais gyd â'm Tad i: a chwithau sydd yn i Pen. 5. 19,
gwneuthur yr hyn a welsoch gyd â'ch tad 30. a 14. 10,
chwithau. 24.
39 Hwythau a attebasant ac a ddywed-
asant wrtho, k Ein tad ni yw Abraham. Yr k Mat. 3. 9.
Iesu a ddywedodd wrthynt, l Pe plant Abra- Adn. 33.
ham fyddech, gweithredoedd Abraham a l Rhuf. 2.
wnaech. 28. a 9. 7.
40 Eithr yn awr yr ydych chwi yn ceisio
fy lladd i, dyn a ddywedodd i chwi y gwir-
ionedd, yr hwn a glywais i gan Dduw: hyn
ni wnaeth Abraham.
41 Yr ydych chwi yn gwneuthur gweith-
redoedd eich tad chwi. Am hynny y dy-
wedasant wrtho, Nid trwy butteindra y
cenhedlwyd ni: m un Tad sydd gennym ni, m Esay 63.
*sef* Duw. 16. a 64. 8.
42 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt hwy, Mal. 1. 6.
n Pe Duw fyddai eich Tad, chwi a'm carech n 1 Ioan 5.
i: canys oddi wrth Dduw y deilliais, ac y 1.
daethum i; o oblegid nid o honof fy hun y o Pen. 5.
daethum i, ond efe a'm hanfonodd i. 43. a 7. 28,
43 Paham nad ydych yn deall fy lleferydd 29.
i? am na ellwch wrando fy ymadrodd i.

p Mat. 13. 38. 1 Ioan 3. 8. q Judas 6.
44 p O'*ch* tad diafol yr ydych chwi, a thrachwantau eich tad a fynnwch chwi eu gwneuthur. Lleiddiad dyn oedd efe o'r dechreuad; ac q ni safodd yn y gwirionedd, oblegid nid oes gwirionedd ynddo ef. Pan yw yn dywedyd celwydd, o'r eiddo ei hun y mae yn dywedyd: canys y mae yn gelwyddog, ac yn dad iddo.

45 Ac am fy mod i yn dywedyd y gwirionedd, nid ydych yn credu i mi.

46 Pwy o honoch a'm hargyoedda i o bechod? Ac od wyf fi yn dywedyd y gwir, paham nad ydych yn credu i mi?

r 1 Ioan 4. 6.
47 r Y mae yr hwn sydd o Dduw, yn gwrando geiriau Duw: am hynny nid ydych chwi yn *eu* gwrando, am nad ydych o Dduw.

48 Yna 'r attebodd yr Iuddewon, ac y dywedasant wrtho ef, Onid da yr ydym ni

s Pen. 7. 20. a 10. 20.
yn dywedyd, mai Samaritan wyt ti, a s bod gennyt gythraul?

49 Yr Iesu a attebodd, Nid oes gennyf gythraul; ond yr wyf fi yn anrhydeddu fy Nhad, ac yr ydych chwithau yn fy nianrhydeddu innau.

t Pen. 5. 41.
50 Ac t nid wyf fi yn ceisio fy ngogoniant fy hun: y mae a'i cais, ac a farn.

u Pen. 5. 24 a 11. 26. † byth.
51 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, u Os ceidw neb fy ymadrodd i, ni wêl efe farwolaeth † yn dragywydd.

52 Yna y dywedodd yr Iuddewon wrtho, Yr awr hon y gwyddom fod gennyt gyth-

x Heb. 11. 13. ‡ byth.
raul. x Bu Abraham farw, a'r prophwydi; ac meddi di, Os ceidw neb fy ymadrodd i, nid archwaetha efe farwolaeth ‡ yn dragywydd.

53 Ai mwy wyt ti nag Abraham ein tad ni, yr hwn a fu farw? a'r prophwydi a fuant feirw: pwy yr wyt ti yn dy wneuthur dy hun?

y Pen. 5. 31.
54 Yr Iesu a attebodd, y Os wyf fi yn fy ngogoneddu fy hun, fy ngogoniant i nid yw ddim: fy Nhad yw 'r hwn sydd yn fy ngogoneddu i, yr hwn yr ydych chwi yn dywedyd, mai eich Duw chwi yw.

z Pen. 7. 28, 29.
55 Ond z nid adnabuoch chwi ef: eithr myfi a'i hadwaen ef. Ac os dywedaf nad adwaen ef, myfi a fyddaf debyg i chwi, yn gelwyddog: ond mi a'i hadwaen ef, ac yr wyf yn cadw ei ymadrodd ef.

a Luc 10. 24.
56 a Gorfoledd oedd gan eich tad Abraham weled fy nydd i: ac efe a'i gwelodd *hefyd*, ac a lawenychodd.

57 Yna y dywedodd yr Iuddewon wrtho, Nid wyt ti ddengmlwydd a deugain etto, ac a welaist ti Abraham?

b Esay 43. 13. c Pen. 10. 31, 39. a 11. 8.
58 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Cyn bod Abraham, b yr wyf fi.

§ *oedd guddiedig.* d Luc 4. 30.
59 Yna c hwy a godasant gerrig i'w taflu atto ef. A'r Iesu § a ymguddiodd, ac a aeth allan o'r deml, d gan fyned trwy eu canol hwynt: ac felly yr aeth *efe* heibio.

## PEN. IX.

1 *Y dyn a anesid yn ddall, yn cael ei olwg;* 13 *a'i ddwyn ef at y Phariseaid:* 16 *hwythau yn ymrwystro,* 34 *ac yn ei ysgymmuno ef;* 35 *ac yntau yn cael ei dderbyn gan yr Iesu, ac yn ei gyffesu ef.* 39 *Pwy yw y rhai y mae Crist yn eu goleuo.*

32.
AC wrth fyned heibio, efe a ganfu ddyn dall o'i enedigaeth.

2 A'i ddisgyblion a ofynasant iddo, gan ddywedyd, Rabbi, pwy a bechodd, ai hwn, ai ei rïeni, fel y genid ef yn ddall?

3 Yr Iesu a attebodd, Nid hwn a bechodd, na'i rïeni chwaith: a eithr fel yr amlygid gweithredoedd Duw ynddo ef. a Pen. 11. 4.

4 b Rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd, tra 'r ydyw hi yn ddydd: y mae 'r nos yn dyfod, pan na ddichon neb weithio. b Pen. 5. 19 a 11. 9. a 12. 35.

5 Tra yr ydwyf yn y byd, c goleuni 'r byd ydwyf. c Pen. 1. 5, 9. a 8. 12. a 12. 35, 46

6 Wedi iddo ef ddywedyd hyn, d efe a boerodd ar lawr, ac a wnaeth glai o'r poeryn, ac a †irodd y clai ar lygaid y dall; d Marc 7. 33. a 8. 23. † *daenodd.*

7 Ac a ddywedodd wrtho, Dos, ac ymolch yn e llyn Siloam (yr hwn a gyfieithir, Anfonedig) Am hynny efe a aeth ymaith, ac a ymolchodd, ac a ddaeth yn gweled. e Neh. 3. 15.

8 ¶ Y cymmydogion gan hynny, a'r rhai a'i gwelsent ef o'r blaen, mai dall oedd efe, a ddywedasant, Onid hwn yw 'r un oedd yn eistedd ac yn cardotta?

9 Rhai a ddywedasant, Hwn yw efe: ac eraill, Y mae efe yn debyg iddo. Yntau a ddywedodd, Myfi yw *efe*.

10 Am hynny y dywedasant wrtho, Pa fodd yr agorwyd dy lygaid di?

11 Yntau a attebodd ac a ddywedodd, Dyn a elwir Iesu, a wnaeth glai, ac a irodd fy llygaid i; ac a ddywedodd wrthyf, Dos i lyn Siloam, ac ymolch. Ac wedi i mi fyned ac ymolchi, mi a gefais fy ngolwg.

12 Yna y dywedasant wrtho, Pa le y mae efe? Yntau a ddywedodd, Ni wn i.

13 ¶ Hwythau a'i dygasant ef at y Phariseaid yr hwn gynt *a fuasai* yn ddall.

14 A'r sabbath oedd hi pan wnaeth yr Iesu y clai, a phan agorodd efe ei lygaid ef.

15 Am hynny y Phariseaid hefyd a ofynasant iddo drachefn, pa fodd y cawsai efe ei olwg. Yntau a ddywedodd wrthynt, Clai a osododd efe ar fy llygaid i, a mi a ymolchais, ac yr ydwyf yn gweled.

16 Yna rhai o'r Phariseaid a ddywedasant, Nid yw y dyn hwn o Dduw, gan nad yw efe yn cadw 'r sabbath. Eraill a ddywedasant, f Pa fodd y gall dyn pechadurus wneuthur y cyfryw arwyddion? Ac g yr oedd ymrafael yn eu plith. f Pen. 3. 2. Adn. 33. g Pen. 7. 12, 43. a 10. 19.

17 Hwy a ddywedasant drachefn wrth y dall, Beth yr wyt ti yn ei ddywedyd am dano ef, am agoryd o hono dy lygaid di? Yntau a ddywedodd, h *Mai* prophwyd yw *efe*. h Pen. 4. 19. a 6. 14.

18 Am hynny ni chredai 'r Iuddewon am dano ef, mai dall fuasai, a chael o hono ef ei olwg, nes galw o honynt ei rïeni ef yr hwn a gawsai ei olwg.

19 A hwy a ofynasant iddynt, gan ddywedyd, Ai hwn yw eich mab chwi, yr hwn yr ydych chwi yn dywedyd ei eni yn ddall? pa fodd gan hynny y mae efe yn gweled yn awr?

20 Ei rïeni ef a attebasant iddynt hwy, ac a ddywedasant, Nyni a wyddom mai hwn yw ein mab ni, ac mai yn ddall y ganwyd ef:

21 Ond pa fodd y mae efe yn gweled yr awrhon, ni's gwyddom ni; neu pwy a agorodd ei lygaid ef, ni's gwyddom ni: y mae efe mewn oedran; gofynwch iddo ef: efe a ddywaid am dano ei hun. i Pen. 7. 13. a 12. 42. a 19. 38. Act. 5. 13.

22 Hyn a ddywedodd ei rïeni ef, am i eu bod yn ofni yr Iuddewon: oblegid yr Iuddewon a gyd-ordeiniasent eisoes, os cyfaddefai neb ef yn Grist, ‡ k y bwrid ef allan o'r synagog. ‡ *yr ysgymmunid ef.* k Pen. 16. 2.

23 Am hynny y dywedodd ei rïeni ef, Y
mae efe mewn oedran; gofynwch iddo ef.
24 Am hynny hwy a alwasant eilwaith y
dyn a fuasai yn ddall, ac a ddywedasant
wrtho, Dyro'r gogoniant i Dduw: nyni a
wyddom mai pechadur yw y dyn hwn.
25 *Yna* yntau a attebodd ac a ddywedodd,
Ai pechadur yw, ni's gwn i: un peth a wn i,
lle yr oeddwn i yn ddall, yr wyf fi yn awr
yn gweled.
26 Hwythau a ddywedasant wrtho dra-
chefn, Beth a wnaeth efe i ti? pa fodd yr
agorodd efe dy lygaid di?
27 Yntau a attebodd iddynt, Mi a ddy-
wedais i chwi eisoes, ac ni wrandawsoch:
paham yr ydych yn ewyllysio clywed dra-
chefn? a ydych chwithau yn ewyllysio bod
yn ddisgyblion iddo ef?
28 Hwythau a'i difenwasant ef, ac a ddy-
wedasant, Tydi sydd ddisgybl iddo ef; eithr
disgyblion Moses ydym ni.
29 Nyni a wyddom lefaru o Dduw wrth
[l] Pen. 8. 14. Moses: *eithr* hwn, [l] ni's gwyddom ni o ba le
y mae efe.
30 Y dyn a attebodd ac a ddywedodd
wrthynt, Yn hyn yn ddïau y mae yn rhy-
fedd, na wyddoch chwi o ba le y mae efe,
ác efe a agorodd fy llygaid i.
[m] Job 27. 31 Ac ni a wyddom [m] nad yw Duw yn
9. a 35. 12. gwrando pechaduriaid: ond os yw neb yn
Psal. 18. 41. addolwr Duw, ac yn gwneuthur ei ewyllys
Diar. 1. 28. ef, hwnnw y mae yn ei wrando.
a 28. 9. 32 Ni chlybuwyd erioed agoryd o neb ly-
Esay 1. 15. Jer. 11. 11. a 14. 12. gaid un a anesid yn ddall.
Ezec. 8. 18. 33 [n] Oni bai fod hwn o Dduw, ni allai
Michah 3. 4. efe wneuthur dim.
Zech. 7. 13. 34 Hwy a attebasant ac a ddywedasant
[n] Adn. 16. wrtho, Mewn pechodau y ganwyd ti oll; ac
a wyt ti yn ein dysgu ni? A hwy a'i † bwri-
† Neu, *ysgymmunasant ef.* asant ef allan.
35 Clybu yr Iesu ddarfod iddynt ei
‡ *ysgymmuno.* ‡ fwrw ef allan: a phan ei cafodd, efe a ddy-
wedodd wrtho, A wyt ti yn credu ym Mab
Duw?
36 Yntau a attebodd ac a ddywedodd,
Pwy yw *efe*, O Arglwydd, fel y credwyf
ynddo?
37 A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Ti a'i
gwelaist ef; a'r hwn sydd yn ymddiddan â
thi, hwnnw ydyw efe.
38 Yntau a ddywedodd, Yr wyf fi yn
credu, O Arglwydd. Ac efe a'i haddolodd ef.
[o] Pen. 5. 22, 27. 39 ¶ A'r Iesu a ddywedodd, [o] I farn y
daethum i'r byd hwn: [p] fel y gwelai y
Edrych Pen. 3. 17. rhai nid ydynt yn gweled, ac yr elai y rhai
a 12. 47. sy yn gweled yn ddeillion.
[p] Mat. 13. 13. 40 A *rhai* o'r Phariseaid a oedd gyd ag
ef, a glywsant y pethau hyn, ac a ddy-
[q] Pen. 15. 22, 24. wedasant wrtho, Ydym ninnau hefyd yn
ddeillion?
41 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, [q] Pe
deillion fyddech, ni byddai arnoch bechod:
eithr yn awr meddwch chwi, Yr ydym ni yn
gweled; am hynny y mae eich pechod yn
aros.

## PEN. X.

1 *Crist yw'r drws, a'r bugail da.* 19 *Amryw dyb am dano.* 25 *Y mae efe yn profi trwy ei weithredoedd, mai efe yw Crist Mab Duw:* 39 *ac yn diangc rhag yr Iuddewon,* 40 *ac yn myned drachefn dros yr Iorddonen; lle y credodd llawer ynddo ef.*

32. YN wir, yn wir, meddaf i chwi, Yr hwn
nid yw yn myned i mewn trwy'r drws
i gorlan y defaid, eithr sydd yn dringo
ffordd arall, lleidr ac yspeiliwr yw.
2 Ond yr hwn sydd yn myned i mewn
trwy'r drws, bugail y defaid ydyw.
3 I hwn y mae y drysor yn agoryd, ac y
mae y defaid yn gwrando ar ei lais ef: ac
y mae efe yn galw ei ddefaid ei hun erbyn
eu henw, ac yn eu harwain hwy allan.
4 Ac wedi iddo yrru allan ei ddefaid ei
hun, y mae efe yn myned o'u blaen hwy:
a'r defaid sydd yn ei ganlyn ef, oblegid y
maent yn adnabod ei lais ef.
5 Ond y dïeithr ni's canlynant, eithr
ffoant oddi wrtho: oblegid nad adwaenant
lais dïeithriaid.
6 Y ddammeg hon a ddywedodd yr Iesu
wrthynt: ond hwy ni wybuant pa bethau
ydoedd y rhai yr oedd efe yn eu llefaru
wrthynt.
7 Am hynny yr Iesu a ddywedodd wrth-
ynt drachefn, Yn wir, yn wir, meddaf i
chwi, Myfi yw drws y defaid.
8 Cynnifer oll ag a ddaethant o'm blaen
i, lladron ac yspeilwŷr ynt: eithr ni wran-
dawodd y defaid arnynt.
9 [a] Myfi yw y drws: os â neb i mewn [a] Pen. 14.
trwof fi, efe a fydd cadwedig; ac efe a â i 6.
mewn ac allan, ac a gaiff borfa. Eph. 2. 18.
10 Nid yw lleidr yn dyfod ond i ladratta,
ac i ladd, ac i ddistrywio: myfi a ddaethum
fel y caent fywyd, ac y caent *ef* yn he-
laethach.
11 [b] Myfi yw'r bugail da. Y bugail da [b] Esay 40.
sydd yn rhoddi ei einioes dros y defaid. 11.
12 Eithr y gwas cyflog, a'r hwn nid yw Ezec. 34. 23. a 37. 24.
fugail, yr hwn nid eiddo y defaid, sydd yn Heb. 13.
gweled y blaidd yn dyfod, ac [c] yn gadael y 20.
defaid, ac yn ffoi: a'r blaidd sydd yn eu 1 Petr 5. 4.
hysglyfio hwy, ac yn tarfu'r defaid. [c] Zech. 11. 16, 17.
13 Y mae'r gwas cyflog yn ffoi, oblegid
mai gwas cyflog yw, ac nid oes ofal arno am
y defaid.
14 Myfi yw'r bugail da; ac [d] a adwaen [d] 2 Tim. 2.
yr eiddof fi, ac a'm hadweinir gan yr eiddof 19.
fi.
15 [e] Fel yr edwyn y Tad fyfi, felly yr [e] Mat. 11.
adwaen innau y Tad: ac yr ydwyf yn rhod- 27.
di fy einioes dros y defaid.
16 A [f] defaid eraill sy gennyf, y rhai nid [f] Esay 56.
ynt o'r gorlan hon: y rhai hynny he- 8.
fyd sy raid i mi eu cyrchu, a'm llais i a
wrandawant; [g] a bydd un gorlan, *ac* un bu- [g] Ezec. 37.
gail. 22.
Eph. 2. 14.
17 Am hyn y mae y Tad yn fy ngharu i, 1 Petr. 2.
[h] am fy mod i yn dodi fy einioes, fel y cym- 25.
merwyf hi drachefn. [h] Esay 53.
18 Nid oes neb yn ei dwyn oddi arnaf fi: 7, 8, 12.
ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof Heb. 2. 9.
fy hun. Y mae gennyf feddiant i'w dodi hi i
lawr, ac † y mae gennyf feddiant i'w chym- † Pen. 2. 19.
meryd hi drachefn. [i] Y gorchymyn hwn a [i] Pen. 15.
dderbyniais i gan fy Nhad. 13.
Act. 2. 24.
19 ¶ [k] Yna y bu drachefn ymrafael ym [k] Pen. 7. 43.
mysg yr Iuddewon, am yr ymadroddion a 9. 16.
hyn.
20 A llawer o honynt a ddywedasant,
[l] Y mae cythraul ganddo, ac y mae efe yn [l] Pen. 7. 20.
ynfydu: paham y gwrandêwch chwi arno a 8. 48, 52.
ef?
21 Eraill a ddywedasant, Nid yw y rhai [m] Exod. 4. 11.
hyn eiriau un â chythraul ynddo. [m] A all Psal. 94. 9.
cythraul [n] agoryd llygaid y deillion? a 146. 8.
22 ¶ Ac yr oedd [o] y gyssegr-wyl yn Je- 33.
rusalem, a'r gauaf oedd hi. [n] Pen. 9. 6, 7.
23 Ac yr oedd yr Iesu yn rhodio yn y [o] 1 Mac. 4.
deml, [p] ym mhorth Salomon 59.
24 Am hynny y daeth yr Iuddewon yn [p] Act. 3.
ei gylch ef, ac a ddywedasant wrtho, Pa 11. a 5. 12.

hyd yr wyt yn † peri i ni ammeu? os tydi
yw y Crist, dywaid i ni yn eglur.
25 Yr Iesu a attebodd iddynt, Mi a ddy-
wedais i chwi, ac nid ydych yn credu. q Y
gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur yn
enw fy Nhad, y mae'r rhai hynny yn tysti-
olaethu am danaf fi.
26 Ond r chwi nid ydych yn credu: ca-
nys nid ydych chwi o'm defaid i, fel y dy-
wedais i chwi.
27 Y mae fy nefaid i yn gwrando fy llais
i; a mi a'u hadwaen hwynt, a hwy a'm can-
lynant i:
28 A minnau ydwyf yn rhoddi iddynt fy-
wyd tragywyddol; ac s ni chyfrgollant byth,
ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw i.
29 Fy Nhad i, yr hwn a'u rhoddes i mi,
sydd fwy na phawb: ac nis gall neb eu
dwyn *hwynt* allan o law fy Nhad i.
30 Myfi a'r Tad un ydym.
31 Am hynny x y codiodd yr Iuddewon
gerrig drachefn i'w labyddio ef.
32 Yr Iesu a attebodd iddynt, Llawer o
weithredoedd da a ddangosais i chwi oddi
wrth fy Nhad: am ba un o'r gweithredoedd
hynny yr ydych yn fy llabyddio i?
33 Yr Iuddewon a attebasant iddo, gan
ddywedyd, Nid am weithred dda yr ydym
yn dy labyddio, ond am gabledd, ac am dy
fod di, a thithau yn ddyn, y yn dy wneu-
thur dy hun yn Dduw.
34 Yr Iesu a attebodd iddynt, z Onid yw
yn ysgrifenedig yn eich cyfraith chwi, Mi
a ddywedais, Duwiau ydych?
35 Os galwodd efe hwy yn dduwiau, at y
rhai y daeth gair Duw, a'r ysgrythyr ni's
gellir ei thorri:
36 A ddywedwch chwi am yr hwn a a
sancteiddiodd y Tad, ac a'i hanfonodd i'r
byd, Yr wyt ti yn cablu; b am i mi ddywe-
dyd, c Mab Duw ydwyf?
37 d Onid wyf fi yn gwneuthur gweith-
redoedd fy Nhad, na chredwch i mi.
38 Ond os ydwyf yn eu gwneuthur, er nad
ydych yn credu i mi, e credwch y gweith-
redoedd: fel y gwybyddoch ac y credoch,
f *fod* y Tad ynof fi, a minnau ynddo yntau.
39 g Am hynny y ceisiasant drachefn ei
ddal ef: ac efe a ddïangodd allan o'u dwy-
law hwynt.
40 Ac efe a aeth ymaith drachefn dros yr
Iorddonen, i'r man h lle y buasai Ioan ar y
cyntaf yn bedyddio; ac a arhosodd yno.
41 A llawer a ddaethant atto ef, ac a
ddywedasant, Ioan yn wir ni wnaeth un
arwydd: i ond yr holl bethau a'r a ddywe-
dodd Ioan am hwn, oedd wir.
42 A llawer yno a gredasant ynddo.

q Pen. 5. 36. Adn. 38.
r Pen. 8. 47.
x Pen. 8. 59.
y Pen. 5. 18.
z Psal. 82. 6.
a Pen. 6. 27.
b Pen. 5. 17, 18.
c Luc 1. 35.
d Pen. 15. 24.
e Pen. 5. 36. a 14. 10.
f Pen. 14. 11. a 17. 21.
g Pen. 7. 30, 44. a 8. 59.
h Pen. 1. 28.
i Pen. 3. 30.

## PEN. XI.

*1 Crist yn cyfodi Lazarus, yr hwn a gladdesid er ys pedwar diwrnod. 45 Llawer o Iuddewon yn credu. 47 Yr arch-offeiriaid a'r Phariseaid yn casglu cynghor yn erbyn Crist. 49 Caiaphas yn prophwydo. 54 Iesu yn ymguddio: 55 hwythau ar y pasg yn ymofyn am dano, ac yn gosod cynllwyn iddo.*

AC yr oedd un yn glaf, Lazarus o Beth-
ania, o dref a Mair a'i chwaer Martha.
2 (b A Mair ydoedd yr hon a enneiniodd
yr Arglwydd ag ennaint, ac a sychodd ei
draed ef â'i gwallt, yr hon yr oedd ei brawd
Lazarus yn glaf.)
3 Am hynny y chwïorydd a ddanfonasant
atto ef, gan ddywedyd, Arglwydd, wele, y
mae yr hwn sydd hoff gennyt ti, yn glaf.

33.
a Luc 10. 38, 39.
b Mat. 26. 7. Marc 14. 3. Pen. 12. 3.

4 A'r Iesu pan glybu, a ddywedodd, Nid
yw y clefyd hwn i farwolaeth, c ond er go-
goniant Duw, fel y gogonedder Mab Duw
trwy hynny.
5 A hoff oedd gan yr Iesu Martha, a'i
chwaer, a Lazarus.
6 Pan glybu efe gan hynny ei fod ef yn
glaf, efe a arhosodd yn y lle yr oedd, ddau
ddiwrnod.
7 Yna wedi hynny efe a ddywedodd wrth
y disgyblion, Awn i Judea drachefn.
8 Y disgyblion a ddywedasant wrtho,
Rabbi, d yr oedd yr Iuddewon yn awr yn
ceisio dy labyddio di; ac a wyt ti yn myned
yno drachefn?
9 Yr Iesu a attebodd, Onid oes deuddeg
awr o'r dydd? os rhodia neb y dydd, ni
thramgwydda, am ei fod yn gweled goleuni
y byd hwn:
10 Ond e os rhodia neb y nos, efe a
dramgwydda, am nad oes goleuni ynddo.
11 Hyn a lefarodd efe: ac wedi hynny
efe a ddywedodd wrthynt, Y mae ein cyf-
aill Lazarus f yn huno; ond yr wyf fi yn
myned i'w ddihuno ef.
12 Yna ei ddisgyblion a ddywedasant
wrtho, Arglwydd, os huno y mae, efe a
fydd iach.
13 Ond yr Iesu a ddywedasai am ei farw-
olaeth ef: eithr hwy a dybiasant mai am
hûn cwsg yr oedd efe yn dywedyd.
14 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt yn
eglur, Bu farw Lazarus.
15 Ac y mae yn llawen gennyf nad
oeddwn i yno, er eich mwyn chwi (fel y
credoch) ond awn atto ef.
16 Yna y dywedodd Thomas, yr hwn a
elwir Didymus, wrth ei gyd-ddisgyblion,
Awn ninnau hefyd, fel y byddom feirw gyd
ag ef.
17 Yna yr Iesu wedi dyfod, a'i cafodd ef
wedi bod weithian bedwar diwrnod yn y
bedd.
18 (A Bethania oedd yn agos i Jerusalem,
ynghylch pymtheg ystâd oddi wrthi)
19 A llawer o'r Iuddewon a ddaethent at
Martha a Mair, i'w cysuro hwy am eu
brawd.
20 Yna Martha, cyn gynted ag y clybu
hi fod yr Iesu yn dyfod, a aeth i'w gyfarfod
ef: ond Mair a eisteddodd yn y tŷ.
21 Yna y dywedodd Martha wrth yr Iesu,
Arglwydd, pe buasit ti yma, ni buasai farw
fy mrawd.
22 Eithr mi a wn hefyd yr awr hon, pa
bethau bynnag a ddymunech di gan Dduw,
y dyry Duw i ti.
23 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Adgy-
fodir dy frawd drachefn.
24 Dywedodd Martha wrtho, g Myfi a
wn yr adgyfodir ef yn yr adgyfodiad, y
dydd diweddaf.
25 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Myfi yw
yr adgyfodiad, a'r h bywyd: i yr hwn sydd
yn credu ynof fi, er iddo farw, a fydd byw:
26 A phwy bynnag sydd yn fyw, ac yn
credu ynof fi, ni bydd marw yn dragywydd.
A wyt ti yn credu hyn?
27 Dywedodd hithau wrtho, Ydwyf, Ar-
glwydd; k yr wyf fi yn credu mai tydi yw y
Crist, Mab Duw, yr hwn sydd yn dyfod i'r
byd.
28 Ac wedi iddi ddywedyd y pethau hyn,
hi a aeth ymaith, ac a alwodd yn ddirgel ei
chwaer Mair, gan ddywedyd, Fe ddaeth yr
Athraw, ac y mae yn galw am danat.

c Pen. 9. 3. Adn. 40.
d Pen. 10. 31.
e Pen. 12. 35.
f Mat. 9. 24.
g Luc 14. 14. Pen. 5. 29.
h Pen. 6. 35.
i Pen. 3. 36. 1 Ioan 5. 10, &c.
k Mat. 16. 16. Pen. 4. 42. a 6. 69.

29 Cyn gynted ag y clybu hi, hi a gododd
yn ebrwydd, ac a ddaeth atto ef.
30 (A'r Iesu ni ddaethai etto i'r dref, ond
yr oedd efe yn y man lle y cyfarfuasai Mar-
tha ag ef)
31 Yna yr Iuddewon y rhai oedd gyd â
hi yn y tŷ, ac yn ei chysuro hi, pan welsant
Mair yn codi ar frys, ac yn myned allan, a'i
canlynasant hi, gan ddywedyd, Y mae hi
yn myned at y bedd, i wylo yno.
32 Yna Mair, pan ddaeth lle yr oedd yr
Iesu, a'i weled ef, a syrthiodd wrth ei draed
ef, gan ddywedyd wrtho, Arglwydd, pe bu-
asit ti yma, ni buasai fy mrawd farw.
33 Yr Iesu gan hynny, pan welodd hi yn
wylo, a'r Iuddewon y rhai a ddaethai gyd â
hi yn wylo, a riddfanodd yn yr yspryd, ac a
† Gr. *ymgynhyrfodd.* † gynhyrfwyd;
34 Ac a ddywedodd, Pa le y dodasoch
chwi ef? Hwy a ddywedasant wrtho, Ar-
glwydd, tyred a gwel.
l Luc 19. 41. 35 l Yr Iesu a wylodd.
36 Am hynny y dywedodd yr Iuddewon,
Wele fel yr oedd yn ei garu ef.
37 Eithr rhai o honynt a ddywedasant,
m Pen. 9. 6. Oni allasai hwn, m yr hwn a agorodd
lygaid y dall, beri na buasai hwn farw
chwaith?
38 Yna'r Iesu drachefn a riddfanodd yn-
ddo ei hunan, ac a ddaeth at y bedd. Ac ogof
oedd, a maen oedd wedi ei ddodi arno.
39 Yr Iesu a ddywedodd, Codwch ym-
aith y maen. Martha, chwaer yr hwn a fu-
asai farw, a ddywedodd wrtho, Arglwydd,
y mae efe weithian yn drewi: herwydd y
mae *yn farw* er ys pedwar diwrnod.
40 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Oni ddy-
n Adn. 4. wedais i ti, pe's credit, y cait ti n weled go-
goniant Duw?
41 Yna y codasant y maen lle yr oedd y
marw wedi ei osod. A'r Iesu a gododd *ei*
olwg i fynu, ac a ddywedodd, Y Tad, yr
wyt yn diolch i ti am i ti wrando arnaf.
42 Ac myfi a wyddwn dy fod di yn fy
o Pen. 12. 30. ngwrando bob amser: eithr o er mwyn y
bobl sydd yn sefyll o amgylch, y dywedais,
fel y credont mai tydi a'm hanfonaist i.
43 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a lef-
odd â llef uchel, Lazarus, tyred allan.
44 A'r hwn a fuasai farw a ddaeth allan,
yn rhwym ei draed a'i ddwylaw mewn
p Pen. 20. 7. amdo: a'i p wyneb oedd wedi ei rwymo â
napcyn. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt,
Gollyngwch ef yn rhŷdd, a gadêwch iddo
fyned *ymaith.*
45 Yna llawer o'r Iuddewon, y rhai a
ddaethent at Mair, ac a welsant y pethau a
wnaethai'r Iesu, a gredasant ynddo ef.
46 Eithr rhai o honynt a aethant ymaith
at y Phariseaid, ac a ddywedasant iddynt y
pethau a wnaethai'r Iesu.
q Psal. 2. 2. Mat. 26. 3. Marc 14. 1. 47 ¶ q Yna'r arch-offeiriaid a'r Phariseaid
a gasglasant gynghor, ac a ddywedasant,
r Pen. 12. 19. Act. 4. 16. r Pa beth yr ydym ni yn ei wneuthur? canys
y mae'r dyn yma yn gwneuthur llawer o
arwyddion.
48 Os gadâwn ni ef fel hyn, pawb a gred-
ant ynddo; ac fe a ddaw y Rhufeiniaid ac
a ddifethant ein lle ni a'n cenedl hefyd.
s Luc 3. 2. Pen. 18. 14. Act. 4. 6. 49 A *rhyw* un o honynt, s Caiaphas, yr
hwn oedd arch-offeiriad y flwyddyn honno,
a ddywedodd wrthynt, Nid ydych chwi yn
gwybod dim oll,
t Pen. 18. 14. 50 Nac yn ystyried, t mai buddiol yw i ni,
farw o un dyn dros y bobl, ac na ddifether
yr holl genedl.
51 Hyn ni ddywedodd efe o hono ei hun:
eithr, *ac* efe yn arch-offeiriad y flwyddyn
honno, efe a brophwydodd y byddai'r Iesu
farw dros y genedl;
52 Ac u nid dros y genedl yn unig, x eithr u Esay 49. 6.
fel y casglai efe ynghŷd yn un blant Duw 1 Ioan 2. 2.
hefyd y rhai a wasgarasid. x Eph. 2. 14, 15, 16.
53 Yna o'r dydd hwnnw allan y cyd-ym-
gynghorasant fel y lladdent ef.
54 Am hynny y ni rodiodd yr Iesu mwy y Pen. 4. 1, 3. a 7. 1.
yn amlwg ym mysg yr Iuddewon; ond efe
a aeth oddi yno i'r wlad yn agos i'r anial-
wch, i ddinas a elwir z Ephraim, ac a ar- z Edrych 2 Chron. 13. 19.
hosodd yno gyd â'i ddisgyblion.
55 ¶ A phasg yr Iuddewon oedd yn agos:
a llawer a aethant o'r wlad i fynu i Jerusa-
lem o flaen y pasg, i'w glanhâu eu hunain.
56 a Yna y ceisiasant yr Iesu; a dywed- a Pen. 7. 11.
asant wrth eu gilydd, fel yr oeddynt yn se-
fyll yn y deml, Beth a dybygwch chwi, gan
na ddaeth efe i'r wyl?
57 A'r arch-offeiriaid a'r Phariseaid a roi-
sant orchymyn, os gwyddai neb pa le yr
oedd efe, ar fynegi o hono, fel y gallent ei
ddal ef.

PEN. XII.

1 *Yr Iesu yn esgusodi Mair am enneinio ei*
*draed ef.* 9 *Y bobl yn ymgasglu i weled*
*Lazarus.* 10 *Yr arch-offeiriaid yn ymgyn-*
*ghori i'w ladd ef.* 12 *Crist yn marchogaeth i*
*Jerusalem.* 20 *Groegwŷr yn ewyllysio gwe-*
*led yr Iesu.* 23 *Y mae efe yn rhag-fynegi ei*
*farwolaeth.* 37 *Yr Iuddewon i gýd gan*
*mwyaf wedi eu dallu;* 42 *er hynny llawer*
*o bennaethiaid yn credu, ond heb ei gyffesu*
*ef:* 44 *yr Iesu gan hynny yn galw yn daer*
*am gyffesu ffydd.*

YNA'r Iesu, chwe diwrnod cyn y pasg, a 53.
ddaeth i Bethania, lle'r oedd Lazarus,
yr hwn a fuasai farw, yr hwn a godasai efe
o feirw.
2 *Ac* a yno y gwnaethant iddo swpper: a Mat. 26. 6.
a Martha oedd yn gwasanaethu; a Lazarus Marc 14. 3.
oedd un o'r rhai a eisteddent gyd ag ef.
3 Yna y cymmerth b Mair bwys o en- b Luc 10. 38, 39.
naint nard gwlyb gwerthfawr, ac a en- Pen. 11. 2.
neiniodd draed yr Iesu, ac a sychodd ei draed
ef â'i gwallt: a'r tŷ a lanwyd gan arogl yr
ennaint.
4 Am hynny y dywedodd un o'i ddisgybl-
ion ef, Judas Iscariot, *mab* Simon, yr hwn
oedd ar fedr ei fradychu ef,
5 Paham na werthwyd yr ennaint hwn er
tri chan ceiniog, a'i roddi i'r tlodion?
6 *Eithr* hyn a ddywedodd efe, nid o her-
wydd bod arno ofal dros y tlodion; ond am
ei fod yn lleidr, a c bod ganddo y pwrs, a'i c Pen. 13. 29.
fod yn † dwyn yr hyn a fwrid ynddo.
7 A'r Iesu a ddywedodd, Gâd iddi: erbyn † *arwedd.*
dydd fy nghladdedigaeth y cadwodd hi hwn.
8 Canys d y mae gennych y tlodion gyd â d Mat. 26. 11.
chwi bob amser; eithr myfi nid oes gen-
nych bob amser.
9 Gwybu gan hynny dyrfa fawr o'r Iu-
ddewon ei fod ef yno: a hwy a ddaethant,
nid er mwyn yr Iesu yn unig, ond fel y
gwelent Lazarus hefyd, e yr hwn a godasai e Pen. 11. 44.
efe o feirw.
10 ¶ Eithr yr arch-offeiriaid a ymgyng-
horasant fel y lladdent Lazarus hefyd.
11 Oblegid llawer o'r Iuddewon a aeth-
ant ymaith o'i herwydd ef, ac a gredasant
yn yr Iesu.
12 ¶ f Trannoeth, tyrfa fawr yr hon a f Mat. 21. 8.
ddaethai i'r wyl, pan glywsant fod yr Iesu Marc 11. 8.
yn dyfod i Ierusalem, Luc 19. 36.

13 A gymmerasant gangau o'r palmwydd,
ac a aethant allan i gyfarfod ag ef, ac a lef-
[g] Psal. 118. asant, [g] Hosanna: Bendigedig † *yw* Bren-
25, 26. hin Israel yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr
† *Neu, yw 'r hwn sydd yn dyfod yn enw yr Argl. yn Frenhin ar Israel.* Arglwydd.
14 A'r Iesu wedi cael asynyn, a eistedd-
odd arno; megis y mae yn ysgrifenedig.
15 [h] Nac ofna, ferch Sion: wele, y mae dy
Frenhin yn dyfod, yn eistedd ar ebol asyn.
16 Y pethau hyn ni wybu ei ddisgyblion
[h] Zech. 9. 9. ef ar y cyntaf: eithr [i] pan ogoneddwyd yr
Iesu, [k] yna y cofiasant fod y pethau hyn yn
[i] Pen. 7. 39. ysgrifenedig am dano, ac iddynt wneuthur
[k] Pen. 14. 26. hyn iddo.
17 Tystiolaethodd gan hynny y dyrfa yr
‡ *alw o hono ef Lazarus o'r bedd, a'i godi o feirw.* hon oedd gyd ag ef ‡ pan alwodd efe Lazar-
us o'r bedd, a'i godi ef o feirw.
18 Am hyn y daeth y dyrfa hefyd i gyf-
arfod ag ef, am glywed o honynt iddo
wneuthur yr arwydd hon.
19 Y Phariseaid gan hynny a ddywedasant
[l] Pen. 11. 47. yn eu plith eu hunain, [l] A welwch chwi nad
ydych yn tyccio ddim? wele, fe aeth y byd
ar ei ol ef.
20 ¶ Ac yr oedd rhai Groegiaid ym
[m] Act. 8. 27. mhlith y rhai [m] a ddaethant i fynu i addoli
ar yr wyl:
21 Y rhai hyn gan hynny a ddaethant at
[n] Pen. 1. 44. Phylip, [n] yr hwn oedd o Bethsaida yn Gali-
lea, ac a ddymunasant arno, gan ddywed-
yd, Syr, ni a ewyllysiem weled yr Iesu.
22 Phylip a ddaeth ac a ddywedodd i
Andreas: a thrachefn Andreas a Phylip a
ddywedasant i'r Iesu.
23 ¶ A'r Iesu a attebodd iddynt, gan ddy-
[o] Pen. 13. 32. a 17. 1. wedyd, [o] Daeth yr awr y gogonedder Mab
y dyn.
[p] 1 Cor. 15. 36. 24 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, [p] Oni
syrth y gronyn gwenith i'r ddaear, a marw,
hwnnw a erys yn unig: eithr os bydd efe
marw, efe a ddwg ffrwyth lawer.
[q] Mat. 10. 39. a 16. 25. 25 [q] Yr hwn sydd yn caru ei einioes, a'i
Marc 8. 35. cyll hi; a'r hwn sydd yn casâu ei einioes
Luc 9. 24. yn y byd hwn, a'i ceidw hi i fywyd tragy-
a 17. 33. wyddol.
26 Os gwasanaetha neb fi, dilyned fi: a
[r] Pen. 14. [r] lle yr wyf fi, yno y bydd fy ngweinidog
3. a 17. 24. hefyd: ac os gwasanaetha neb fi, y Tad a'i
hanrhydedda ef.
[s] Mat. 26. 38, 39. 27 [s] Yr awrhon y cynhyrfwyd fy enaid: a
Luc 12. 50. pha beth a ddywedaf? O Dad, gwared fi
Pen. 13. 21. allan o'r awr hon: eithr o herwydd hyn y
daethum i'r awr hon.
[t] Mat. 3. 17. 28 O Dad, gogonedda dy enw. Yna y
[u] Pen. 11. daeth [t] llef o'r nef, Mi a'i gogoneddais, ac
42. a'i gogoneddaf drachefn.
[x] Mat. 12. 29 Y dyrfa gan hynny yr hon oedd yn
29. sefyll, ac yn clywed, a ddywedodd mai ta-
Luc 10. 18. Pen. 14. 30. ran oedd: eraill a ddywedasant, Angel a
a 16. 11. lefarodd wrtho.
Eph. 6. 12. 30 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd,
[y] Pen. 3. [u] Nid o'm hachos i y bu y llef hon, ond o'ch
14. a 8. 28. achos chwi.
[z] Rhuf. 5. 18. 31 Yn awr y mae barn y byd hwn: yn
Heb. 2. 9. awr y bwrir allan [x] tywysog y byd hwn.
[a] Psal. 89. 32 A minnau, [y] os dyrchefir fi oddi ar y
36, 37. a ddaear, a dynnaf [z] bawb attaf fy hun.
110. 4. 33 (A hyn a ddywedodd efe, gan ar-
Esay 9. 7. a 53. 8. wyddo o ba angau y byddai farw)
Ezec. 37. 25. 34 Y dyrfa a attebodd iddo, [a] Ni a glyw-
Dan. 2. 44. som o'r ddeddf, fod Crist yn aros yn dragy-
a 7. 14, 27. wyddol: a pha wedd yr wyt ti yn dywedyd,
Michah 4. 7. fod yn rhaid dyrchafu Mab y dyn? pwy
ydyw hwnnw Mab y dyn?
[b] Pen. 8. 35 Yna yr Iesu a ddywedodd wrthynt,
12. a 9. 5. Adn. 46. Etto ychydig ennyd [b] y mae'r goleuni gyd
â chwi. [c] Rhodiwch tra fyddo genych y [c] Jer. 13. 16.
goleuni, fel na ddalio'r tywyllwch chwi: [d] Eph. 5. 8.
[d] a'r hwn sydd yn rhodio mewn tywyllwch, [e] Pen. 11.
ni ŵyr i ba le y mae yn myned. 10.
36 Tra fyddo genych y goleuni, credwch
yn y goleuni, fel y byddoch yn blant y go- [e] Luc 16. 8.
leuni. Hyn a ddywedodd yr Iesu, ac efe a Eph. 5. 8.
ymadawodd, ac [f] a ymguddiodd rhagddynt. 1 Thess. 5. 5.
37 ¶ Ac er gwneuthur o hono ef gym- [f] Ioan 8.
maint o arwyddion yn eu gŵydd hwynt, ni 59. 10.
chredasant ynddo: [f] Pen. 8. 59.
38 Fel y cyflawnid ymadrodd Esaias y pro- a 11. 54.
phwyd, yr hwn a ddywedodd efe, [g] Arglw- [g] Esay 53.
ydd, pwy a gredodd i'n hymadrodd ni? ac i 1.
bwy y datguddiwyd braich yr Arglwydd? Rhuf. 10. 16.
39 Am hynny ni allent gredu, oblegid dy-
wedyd o Esaias drachefn,
40 [h] Efe a ddallodd eu llygaid, ac a caled- [h] Esay 6.
odd eu calon; fel na welent â'u llygaid, a 9.
deall â'u calon, ac ymchwelyd o honynt, ac Mat. 13. 14.
i mi eu hiachâu hwynt. Act. 28. 26.
41 [i] Y pethau hyn a ddywedodd Esaias, [i] Esay 6. 1.
pan welodd ei ogoniant ef, ac y llefarodd
am dano ef.
42 ¶ Er hynny llawer o'r pennaethiaid
hefyd a gredasant ynddo; ond [k] oblegid y [k] Pen. 7.
Phariseaid ni chyffesasant *ef*, rhag eu bwrw 13. a 9. 22.
allan o'r synagog:
43 [l] Canys yr oeddynt yn caru gogoniant [l] Pen. 5.
dynion yn fwy nâ gogoniant Duw. 44.
44 ¶ A'r Iesu a lefodd ac a ddywedodd,
[m] Yr hwn sydd yn credu ynof fi, nid yw yn [m] Marc 9.
credu ynof fi, ond yn yr hwn a'm hanfon- 37.
odd i. 1 Petr 1. 21.
45 [n] A'r hwn sydd yn fy ngweled i, sydd [n] Pen. 14.
yn gweled yr hwn a'm danfonodd i. 9.
46 [o] Mi a ddaethum yn oleuni i'r byd, [o] Pen. 1. 4.
fel *y bo i* bob un a'r sydd yn credu ynof fi, a 3. 19. a 8. 12. a 9.
nad arhoso yn y tywyllwch. 5. 39.
47 Ac os clyw neb fy ngeiriau, ac ni Adn. 36.
chred, [p] myfi nid wyf yn ei farnu ef: canys [p] Pen. 5.
[q] ni ddaethum i farnu'r byd, eithr i achub 45. a 8. 15,
y byd. 26.
48 Yr hwn sydd yn fy nirmygu i, ac heb [q] Pen. 3. 17.
dderbyn fy ngeiriau, y mae iddo un yn ei
farnu: [r] y gair a leferais i, hwnnw a'i barn [r] Marc 10.
ef yn y dydd diweddaf. 16.
49 Canys [s] myfi ni leferais o honof fy [s] Pen. 8.
hun: ond y Tad yr hwn a'm hanfonodd i, 38. a 14. 10.
efe a roddes orchymyn i mi, [t] beth a ddy- [t] Deut. 18.
wedwn, a pha beth a lefarwn. 18.
50 Ac mi a wn fod ei orchymyn ef yn
fywyd tragywyddol: am hynny y pethau yr
wyf fi yn eu llefaru, fel y dywedodd y Tad
wrthyf, felly yr wyf yn llefaru.

## PEN. XIII.

*1 Yr Iesu yn golchi traed ei ddisgyblion: 14 yn eu hannog i ostyngeiddrwydd, a chariad perffaith: 18 yn rhag-ddywedyd, ac yn datguddio i Ioan, trwy arwydd, y bradychai Judas ef: 31 yn gorchymyn iddynt garu eu gilydd; 36 ac yn rhybuddio Petr y gwadai efe ef.*

A [a] Chyn gwyl y pasg, yr Iesu yn gwy-
bod ddyfod ei awr ef i ymadael â'r [a] Mat. 26. 2.
byd hwn at y Tad, efe yn caru yr eiddo y
rhai oedd yn y byd, a'u carodd hwynt hyd
y diwedd.
2 Ac wedi darfod swpper ([b] wedi i ddi- [b] Luc 22.
afol eisoes roi ynghalon Judas Iscariot, *fab* 3.
Simon, ei fradychu ef;) Adn. 27.
3 Yr Iesu yn gwybod [c] roddi o'r Tad [c] Mat. 11.
bob peth oll yn ei ddwylaw ef, a'i fod wedi 27. a 28. 18.
dyfod oddi wrth Dduw, ac yn myned at Pen. 3. 35.
Dduw; a 17. 2.

4 Efe a gyfododd oddi ar swpper, ac a roes heibio ei gochl-wisg, ac a gymmerodd dywel, ac a ymwregysodd.

5 Wedi hynny efe a dywalltodd ddwfr i'r cawg, ac a ddechreuodd olchi traed y disgyblion a'u sychu â'r tywel â'r hwn yr oedd efe wedi ei wregysu.

† A Phetr a, &c. | d Edrych Mat. 3. 14.

6 Yna y daeth efe at Simon Petr. † Ac efe a ddywedodd wrtho, Arglwydd, [d] a wyt ti yn golchi fy nhraed i?

7 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Y peth yr wyf fi yn ei wneuthur, ni wyddost ti yr awrhon: eithr ti a gei wybod ar ol hyn.

e Pen. 3. 5. | 1 Cor. 6. 11. | Eph. 5. 26. | Tit. 3. 5. | Heb. 10. 22.

8 Petr a ddywedodd wrtho, Ni chei di olchi fy nhraed i byth. Yr Iesu a attebodd iddo, [e] Oni olchaf di, nid oes i ti gyfran gyd â myfi.

9 Simon Petr a ddywedodd wrtho, Arglwydd, nid fy nhraed yn unig, eithr *fy* nwylaw a'*m* pen hefyd.

f Pen. 15. 3.

10 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Yr hwn a olchwyd, nid rhaid iddo ond golchi *ei* draed, eithr y mae yn lân oll: ac [f] yr ydych chwi yn lân, eithr nid pawb oll.

g Pen. 6. 64.

11 Canys efe [g] a wyddai pwy a'i bradychai ef: am hynny y dywedodd, Nid ydych chwi yn lân bawb oll.

12 Felly wedi iddo olchi eu traed hwy, a chymmeryd ei gochl-wisg, efe a eisteddodd drachefn, ac a ddywedodd wrthynt, A wyddoch chwi pa beth a wnaethum i chwi?

h Mat. 23. 8, 10. | 1 Cor. 8. 6. | a 12. 3. | Phil. 2. 11.

13 [h] Yr ydych chwi yn fy ngalw i, Yr Athraw, a'r Arglwydd: a da y dywedwch: canys *felly* yr ydwyf.

i Luc 22. 27. | k Gal. 6. 1, 2.

14 [i] Am hynny os myfi, yn Arglwydd ac yn Athraw, a olchais eich traed chwi; [k] chwithau a ddylech olchi traed eich gilydd.

l Mat. 11. 29. | 1 Petr 2. 21. | 1 Ioan 2. 6.

15 Canys [l] rhoddais esampl i chwi, fel y gwnelech chwithau megis y gwneuthum i chwi.

m Mat. 10. 24. | Luc 6. 40. | Pen. 15. 20.

16 [m] Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Nid yw'r gwas yn fwy nâ'i arglwydd; na'r hwn a ddanfonwyd yn fwy nâ'r hwn a'i danfonodd.

n Iago 1. 25.

17 [n] Os gwyddoch y pethau hyn, gwỳn eich byd os gwnewch hwynt.

o Psal. 41. 9. | Mat. 26. 23.

18 ¶ Nid wyf fi yn dywedyd am danoch oll: mi a wn pwy a etholais: ond fel y cyflawnid yr ysgrythyr, [o] Yr hwn sydd yn bwytta bara gyd â mi, a gododd ei sawdl yn fy erbyn.

p Pen. 14. 29. a 16. 4. | ‡ Neu, O'r awr hon.

19 [p] ‡ Yn awr yr wyf yn dywedyd wrthych cyn ei ddyfod, fel pan ddêl, y credoch mai myfi yw *efe.*

q Mat. 10. 40. | Luc 10. 16.

20 [q] Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Yr hwn sydd yn derbyn y neb a ddanfonwyf fi, sydd yn fy nerbyn i; a'r hwn sydd yn fy nerbyn i, sydd yn derbyn yr hwn a'm danfonodd i.

r Mat. 26. 21. | Marc 14. 18. | Luc 22. 21. | s Pen. 12. 27. | t Act. 1. 17. | 1 Ioan 2. 19.

21 [r] Wedi i'r Iesu ddywedyd y pethau hyn, [s] efe a gynhyrfwyd yn yr yspryd, ac a dystiolaethodd, ac a ddywedodd, Yn wir, yn wir, y dywedaf wrthych, [t] y bradycha un o honoch fi.

22 Yna y disgyblion a edrychasant ar eu gilydd, gan ammeu am bwy yr oedd efe yn dywedyd.

u Pen. 19. 26. a 20. 2. a 21. 7, 20, 24.

23 Ac [u] yr oedd un o'i ddisgyblion yn pwyso ar fynwes yr Iesu, yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu.

24 Am hynny yr amneidiodd Simon Petr ar hwnnw, i ofyn pwy oedd efe am yr hwn yr oedd efe yn dywedyd.

25 Ac yntau yn pwyso ar ddwyfron yr Iesu, a ddywedodd wrtho, Arglwydd, pwy yw efe?

26 Yr Iesu a attebodd, Hwnnw yw efe i'r hwn y rhoddaf fi dammaid wedi i mi ei wlychu. Ac wedi iddo wlychu'r tammaid, efe a'i rhoddodd i Judas Iscariot, *fab* Simon.

27 Ac ar ol y tammaid, yna yr aeth Satan i mewn iddo. Am hynny y dywedodd yr Iesu wrtho, Hyn yr wyt yn ei wneuthur, gwna ar frys.

28 Ac ni wyddai neb o'r rhai oedd yn eistedd i ba beth y dywedasai efe hyn wrtho.

x Pen. 12. 6.

29 Canys rhai oedd yn tybied, am fod [x] Judas â'r god ganddo, fod yr Iesu yn dywedyd wrtho, Pryn *y pethau* sy arnom eu heisiau erbyn yr wyl; neu, ar roi o hono beth i'r tlodion.

30 Yntau gan hynny, wedi derbyn y tammaid, a aeth allan yn ebrwydd. Ac yr oedd hi yn nos.

31 ¶ Yna gwedi iddo fyned allan, yr Iesu a ddywedodd, Yn awr y gogoneddwyd Mab y dyn, a Duw a ogoneddwyd ynddo ef.

y Pen. 17. 1, 5, 6. | z Pen. 12. 23.

32 [y] Os gogoneddwyd Duw ynddo ef, Duw hefyd a'i gogonedda ef ynddo ei hun, ac [z] efe a'i gogonedda ef yn ebrwydd.

a Pen. 7. 34. a 8. 21. a 16. 16.

33 O blant bychain, etto yr wyf ennyd fechan gyd â chwi. Chwi a'm ceisiwch: ac, [a] megis y dywedais wrth yr Iuddewon, Lle yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi ddyfod; yr ydwyf yn dywedyd wrthych chwithau hefyd yr awrhon.

b Lef. 19. 18. | Pen. 15. 12, 17. | Eph. 5. 2. | 1 Thess. 4. 9. | 1 Ioan 2. 7, 8. a 3. 23. a 4. 21.

34 [b] Gorchymyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi, Ar garu o honoch eich gilydd: fel y cerais i chwi, ar garu o honoch chwithau bawb eich gilydd.

c 1 Ioan 2. 5. a 4. 20.

35 [c] Wrth hyn y gwybydd pawb mai disgyblion i mi ydych, os bydd gennych gariad i'ch gilydd.

36 ¶ A Simon Petr a ddywedodd wrtho, Arglwydd, i ba le yr wyt ti yn myned? Yr Iesu a attebodd iddo, Lle yr ydwyf fi yn myned, ni elli di yr awrhon fy nghanlyn: eithr [d] ar ol hyn y'm canlyni.

d Pen. 21. 18. | 2 Petr 1. 14.

37 Petr a ddywedodd wrtho, Arglwydd, paham na allaf fi dy ganlyn yr awrhon? [e] mi a roddaf fy einioes drosot.

e Mat. 26. 33, 35. | Marc 14. 31. | Luc 22. 33.

38 Yr Iesu a attebodd iddo, A roddi di dy einioes drosof fi? Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Ni chân y ceiliog nes i ti fy ngwadu dair gwaith.

## PEN. XIV.

1 *Crist yn cysuro ei ddisgyblion â gobaith teyrnas nef: 6 yn proffesu mai efe yw'r ffordd, a'r gwirionedd, a'r bywyd; a'i fod yn un â'r Tad: 13 yn gwarantu y bydd eu gweddiau hwy yn ei enw ef yn ffrwythlawn: 15 yn dymuno cariad ac ufudd-dod: 16 yn addaw'r Yspryd Glân y Diddanydd; 27 ac yn gadael ei dangnefedd gyd â hwynt.*

NA thralloder eich calon: yr ydych yn credu yn Nuw, credwch ynof finnau hefyd. 33.

2 Yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfannau: a phe amgen, mi a ddywedaswn i chwi. Yr wyf fi yn myned i barottoi lle i chwi.

a Adn. 18, 28. | b Pen. 12. 26. a 17. 24.

3 Ac [a] os myfi a af, ac a barottoaf le i chwi, mi a ddeuaf drachefn, ac a'ch cymmeraf chwi attaf fy hun: fel [b] lle yr wyf fi, y byddoch chwithau hefyd.

4 Ac i ba le yr wyf fi yn myned, chwi a wyddoch, a'r ffordd a wyddoch.

5 Dywedodd Thomas wrtho, Arglwydd, ni wyddom ni i ba le yr wyt ti yn myned; a pha fodd y gallwn wybod y ffordd?

6 Yr Iesu a ddywedodd wrtho ef, Myfi
yw'r [c] ffordd, a'r [d] gwirionedd, a'r [e] bywyd:
[f] nid yw neb yn dyfod at y Tad, ond
trwof fi.
7 Pe adnabuasech fi, fy Nhad hefyd a
adnabuasech: ac o hyn allan yr adwaenoch
ef, a chwi a'i gwelsoch ef.
8 Dywedodd Phylip wrtho, Arglwydd,
dangos i ni y Tad, a digon yw i ni.
9 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, A ydwyf
gyhyd o amser gyd â chwi, ac nid adnabuost
fi, Phylip? [g] Y neb a'm gwelodd i, a welodd
y Tad; a pha fodd yr wyt ti yn dywedyd,
Dangos i ni y Tad?
10 Onid wyt ti yn credu [h] fy mod i yn y
Tad, a'r Tad ynof finnau? Y geiriau yr wyf
fi yn eu llefaru wrthych, [i] nid o honof fy
hun yr wyf yn eu llefaru; ond y Tad yr
hwn sydd yn aros ynof, efe sydd yn gwneuthur
y gweithredoedd.
11 Credwch fi, fy *mod* i yn y Tad, a'r
Tad ynof finnau: ac onid ê, credwch fi er
mwyn y gweithredoedd eu hunain.
12 [k] Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Yr
hwn sydd yn credu ynof fi, y gweithredoedd
yr wyf fi yn eu gwneuthur, yntau hefyd
a'u gwna, a mwy nâ'r rhai hyn a wna
efe: oblegid yr wyf fi yn myned at fy
Nhad.
13 [l] A pha beth bynnag a ofynoch yn fy
enw i, hynny a wnaf; fel y gogonedder y
Tad yn y Mab.
14 Os gofynwch ddim yn fy enw i, mi a'i
gwnaf.
15 ¶ [m] O cherwch fi, cedwch fy ngorchymynion.
16 A mi a weddïaf ar y Tad, ac [n] efe a
rydd i chwi Ddiddanydd arall, fel yr arhoso
gyd â chwi yn dragywyddol;
17 [o] Yspryd y gwirionedd, yr hwn ni
ddichon y byd ei dderbyn, am nad yw yn ei
weled, nac yn ei adnabod ef: ond chwi a'i
hadwaenoch ef; o herwydd y mae yn aros
gyd â chwi, ac ynoch y bydd efe.
18 [p] Ni's gadawaf chwi yn † amddifaid:
[q] mi a ddeuaf attoch chwi.
19 Etto ennyd bach, a'r byd ni'm gwel
mwy: eithr [r] chwi a'm gwelwch: canys byw
wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd.
20 Y dydd hwnnw y gwybyddwch [s] fy
*mod* i yn fy Nhad, a chwithau ynof fi, a
minnau ynoch chwithau.
21 [t] Yr hwn sydd â'm gorchymynion i
ganddo, ac yn eu cadw hwynt, efe yw'r
hwn sydd yn fy ngharu i: a'r hwn sydd
yn fy ngharu i, a gerir gan fy Nhad i:
a minnau a'i caraf ef, ac a'm heglurâf fy
hun iddo.
22 Dywedodd Judas wrtho, (nid yr Iscariot)
Arglwydd, pa beth yw'r achos yr
wyt ar fedr dy eglurhâu dy hun i ni, ac nid
i'r byd?
23 Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd
wrtho, [u] Os câr neb fi, efe a geidw fy
ngair; a'm Tad a'i câr yntau, a [x] nyni a
ddeuwn atto, ac a wnawn ein trigfa gyd ag
ef.
24 Yr hwn nid yw yn fy ngharu i, nid yw
yn cadw fy ngeiriau: [y] a'r gair yr ydych yn
ei glywed, nid eiddof fi ydyw, ond eiddo y
Tad a'm hanfonodd i.
25 Y pethau hyn a ddywedais wrthych, a
mi yn aros gyd â chwi.
26 Eithr [z] y Diddanydd, yr Yspryd Glân,
yr hwn a enfyn y Tad yn fy enw i, [a] efe a
ddysg i chwi yr holl bethau, ac a ddwg
ar gof i chwi yr holl bethau a ddywedais i
chwi.
27 Yr wyf yn gadael i chwi dangnefedd;
fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei rhoddi i
chwi: nid fel y mae y byd yn rhoddi, yr
wyf fi yn rhoddi i chwi. Na thralloder eich
calon, ac nac ofned.
28 Clywsoch fel [b] y dywedais wrthych,
Yr wyf yn myned ymaith, ac mi a ddeuaf
attoch. Pe carech fi, chwi a lawenhaech,
am i mi ddywedyd, Yr wyf yn myned at y
Tad: canys y mae [c] fy Nhad yn fwy nâ myfi.
29 Ac [d] yr awrhon y dywedais i chwi cyn
ei ddyfod, fel pan ddel, y credoch.
30 Nid ymddiddanaf â chwi nemmawr
bellach: [e] canys tywysog y byd hwn sydd
yn dyfod, ac nid oes iddo ddim ynof fi.
31 Ond fel y gwypo'r byd fy mod i yn caru
y Tad, ac [f] megis y gorchymynodd y Tad i
mi, felly yr wyf yn gwneuthur. Codwch,
awn oddi yma.

## PEN. XV.

1 *Y diddanwch a'r caredigrwydd sydd rhwng Crist a'i aelodau, trwy ddammeg y winwŷdden,* 18 *Cysur mewn casineb, ac erlid bydol.* 26 *Swydd yr Yspryd Glân, a'r apostolion.*

MYFI yw y wir winwŷdden, a'm Tad 33.
yw'r llafurwr.
2 [a] Pob cangen ynof fi heb ddwyn ffrwyth,
y mae efe yn ei thynnu ymaith: a phob un
a ddygo ffrwyth, y mae efe yn ei glanhâu,
fel y dygo fwy o ffrwyth.
3 [b] Yr awrhon yr ydych chwi yn lân
trwy'r gair a leferais i wrthych.
4 Arhoswch ynof fi, a mi ynoch chwi.
Megis na all y gangen ddwyn ffrwyth o
honi ei hun, onid erys yn y winwŷdden;
felly ni ellwch chwithau, onid arhoswch
ynof fi.
5 Myfi yw'r winwŷdden, chwithau *yw*'r
canghennau. Yr hwn sydd yn aros ynof fi,
a minnau ynddo yntau, hwnnw sydd yn
dwyn ffrwyth lawer: oblegid [c] † hebof fi ni
ellwch chwi wneuthur dim.
6 Onid erys un ynof fi, [d] efe a daflwyd
allan megis cangen, ac a wywodd; ac y
maent yn eu casglu hwynt, ac yn *eu* bwrw
yn tân, a hwy a losgir.
7 Os arhoswch ynof fi, ac aros o'm geiriau
ynoch, [e] beth bynnag a ewyllysioch, gofynwch,
ac efe a fydd i chwi.
8 [f] Yn hyn y gogoneddwyd fy Nhad, ar
ddwyn o honoch ffrwyth lawer; a disgyblion
fyddwch i mi.
9 Fel y carodd y Tad fi, felly y cerais innau
chwithau: arhoswch yn fy nghariad i.
10 [g] Os cedwch fy ngorchymynion, chwi
a arhoswch yn fy nghariad; fel y cedwais i
orchymynion fy Nhad, ac yr wyf yn aros yn
ei gariad ef.
11 Hyn a ddywedais wrthych, fel yr ‡ arhosai
fy llawenydd ynoch, ac [h] y § byddai
eich llawenydd yn gyflawn.
12 [i] Dyma fy ngorchymyn i; Ar i chwi
garu eich gilydd, fel y cerais i chwi.
13 [k] Cariad mwy nâ hwn nid oes gan
neb; *sef*, bod i un roi ei einioes dros ei gyfeillion.
14 [l] Chwychwi yw fy nghyfeillion, os
gwnewch pa bethau bynnag yr wyf yn eu
gorchymyn i chwi.
15 Nid ydwyf mwyach yn eich galw yn
weision; oblegid y gwas ni ŵyr beth y
mae ei arglwydd yn ei wneuthur: ond mi
a'ch gelwais chwi yn gyfeillion; oblegid

[c] Heb. 9. 8.
[d] Pen. 1. 17.
[e] Pen. 1. 4. a 11. 25.
[f] Pen. 10. 9.
[g] Pen. 12. 45.
[h] Pen. 10. 38. a 17. 21, 23. Adn. 20.
[i] Pen. 5. 19. a 8. 38. a 12. 49.
[k] Mat. 21. 21. Marc 16. 17.
[l] Mat. 7. 7. a 21. 22. Marc 11. 24. Pen. 15. 7, 16. a 16. 23. 1 Ioan 3. 22. a 5. 14.
[m] Pen. 15. 10, 14. 1 Ioan 5. 3. Adn. 21, 23.
[n] Pen. 15. 26. a 16. 7. Rhuf. 8. 25, 26.
[o] Pen. 15. 26. a 16. 13.
[p] Mat. 28. 20.
† anghysurus.
[q] Adn. 3, 28.
[r] Pen. 16. 16.
[s] Pen. 10. 38. a 17. 21, 23, 26.
Adn. 10.
[t] 1 Ioan 2. 5. a 5. 3. Adn. 15.
[u] Adn. 15. 1 Ioan 2. 24.
[x] Dat. 3. 20.
[y] Pen. 5. 43. 38. Adn. 10.
[z] Adn. 16.
[a] Pen. 12. 16. a 16. 13. 1 Ioan 2. 20, 27.
[b] Adn. 3. 18.
[c] Edrych Pen. 5. 18. Phil. 2. 6.
[d] Pen. 13. 19.
[e] Pen. 12. 31.
[f] Pen. 10. 18.
[a] Mat. 15. 13.
[b] Pen. 13. 10. a 17. 17. Eph. 5. 26. 1 Petr 1. 22.
[c] Hos. 14. 8. Phil. 1. 11.
† wedi eich gwahanu oddi wrthyf fi.
[d] Mat. 3. 10. a 7. 19.
[e] Pen. 14. 13. Adn. 16.
[f] Mat. 5. 16. Phil. 1. 11.
[g] Pen. 14. 15, 21, 23.
‡ arhoso.
[h] Pen. 16. 24.
§ byddo.
[i] Pen. 13. 34. 1 Thess. 4. 9. 1 Petr 4. 8. 1 Ioan 3. 11. a 4. 21.
[k] Rhuf. 5. 7, 8. Eph. 5. 2. 1 Ioan 3. 16.
[l] Pen. 14. 15, 23. Edrych Mat. 12. 50.

[m] pob peth a'r a glywais gan fy Nhad, a
hyspysais i chwi.
16 [n] Nid chwi a'm dewisasoch i, ond myfi
a'ch dewisais chwi, ac a'ch [o] ordeiniais chwi,
fel yr elech ac y dygech ffrwyth, ac yr ar-
hosai eich ffrwyth; megis [p] pa beth bynnag
a ofynoch gan y Tad yn fy enw i, y rhoddo
efe i chwi.
17 Hyn yr wyf yn ei orchymyn i chwi,
garu o honoch eich gilydd.
18 [q] Os yw'r byd yn eich casâu chwi,
† chwi a wyddoch gasâu o hono fyfi o'ch
blaen chwi.
19 [r] Pe byddech o'r byd, y byd a garai'r
eiddo; ond [s] oblegid nad ydych o'r byd,
eithr i mi eich dewis allan o'r byd, am hyn-
ny y mae'r byd yn eich casâu chwi.
20 Cofiwch yr ymadrodd a ddywedais i
wrthych; [t] Nid yw'r gwas yn fwy nâ'i ar-
glwydd. Os erlidiasant fi, hwy a'ch erlid-
iant chwithau: [u] os cadwasant fy ngair i, yr
eiddoch chwithau hefyd a gadwant.
21 Eithr [x] hyn oll a wnant i chwi er mwyn
fy enw i, am nad adwaenant yr hwn a'm
hanfonodd i.
22 [y] Oni bai fy nyfod a llefaru wrthynt,
ni buasai arnynt bechod: [z] ond yr awrhon
nid oes ganddynt esgus am eu pechod.
23 [a] Yr hwn sydd yn fy nghasâu i, sydd
yn casâu fy Nhad hefyd.
24 Oni bai wneuthur o honof yn eu plith
y gweithredoedd ni wnaeth neb arall, ni
buasai arnynt bechod: ond yr awrhon
hwy a welsant, ac a'm casasant i a'm Tad
hefyd.
25 Eithr, fel y cyflawnid y gair sydd ys-
grifenedig yn eu cyfraith hwynt, [b] Hwy
a'm casasant yn ddïachos.
26 [c] Eithr pan ddêl y Diddanydd, yr hwn
a anfonaf i chwi oddi wrth y Tad (*sef*
Ysbryd y gwirionedd, yr hwn sydd yn
deilliaw oddi wrth y Tad) efe a dystiolaetha
am danaf fi.
27 A [d] chwithau hefyd a dystiolaethwch,
am [e] eich bod o'r dechreuad gyd â mi.

[m] Edrych Gen. 18. 17. [n] 1 Ioan 4. 10, 19. [o] Mat. 28. 10. Marc 16. 15. Col. 1. 6. [p] Pen. 14. 13. Adn. 7. [q] 1 Ioan 3. 13. † *gwybyddwch.* [r] 1 Ioan 4. 5. [s] Pen. 17. 14. [t] Mat. 10. 24. Luc 6. 40. Pen. 13. 16. [u] Ezec. 3. 7. [x] Mat. 10. 22. a 24. 9. Pen. 16. 3. [y] Pen. 9. 41. [z] Rhuf. 1. 20. Iago 4. 17. [a] 1 Ioan 2. 23. [b] Psal. 35. 19. a 69. 4. [c] Luc 24. 49. Pen. 14. 17, 26. a 16. 7. Act. 2. 33. [d] Act. 1. 8, 21, 22. a 5. 32. [e] Luc 1. 2. 1 Ioan 1. 1.

## PEN. XVI.

1 *Crist yn cysuro ei ddisgyblion yn erbyn blinder, trwy addewid o'r Ysbryd Glân, a thrwy ei ail-gyfodiad, a'i esgyniad: 23 yn eu sicrhâu, y bydd eu gweddïau hwy yn ei enw ef yn gymmeradwy gan ei Dad. 33 Tangnefedd yng Nghrist; ac yn y byd gorthrymder.*

33. Y Pethau hyn a ddywedais i chwi, fel
[a] na rwystrer chwi.
2 [b] Hwy a'ch bwriant chwi allan o'r syna-
gogau: ac y mae'r awr yn dyfod, y tybia
pwy bynnag a'ch lladdo, ei fod yn gwneuthur
gwasanaeth i Dduw.
3 A'r [c] pethau hyn a wnant i chwi, oble-
gid nad adnabuant y Tad, na myfi.
4 Eithr [d] y pethau hyn a ddywedais i
chwi, fel pan ddêl yr awr, y cofioch hwynt,
ddarfod i mi ddywedyd i chwi: a'r [e] pethau
hyn ni ddywedais i chwi o'r dechreuad, am
fy mod gyd â chwi.
5 Ac yn awr yr wyf yn myned at yr
hwn a'm hanfonodd, ac nid yw neb o ho-
noch yn gofyn i mi, I ba le yr wyt ti yn
myned?
6 Eithr am i mi ddywedyd y pethau
hyn i chwi, tristwch a lanwodd eich ca-
lon.
7 Ond yr wyf fi yn dywedyd gwirionedd
i chwi; Buddiol yw i chwi fy myned i ym-
aith: canys onid af fi, [f] ni ddaw y Diddan-
ydd attoch: eithr [g] os mi a af, mi a'i han-
fonaf ef attoch.
8 A phan ddêl, efe a argyoedda'r byd o
bechod, ac o gyfiawnder, ac o farn:
9 O bechod, am nad ydynt yn credu
ynof fi;
10 O gyfiawnder, am fy mod yn myned
at fy Nhad, ac ni'm gwelwch i mwyach;
11 O farn, oblegid [h] tywysog y byd hwn
a farnwyd.
12 Y mae gennyf etto lawer o bethau i'w
dywedyd i chwi, ond ni ellwch eu dwyn yr
awrhon.
13 Ond pan ddêl efe, *sef* [i] Ysbryd y
gwirionedd, [k] efe a'ch tywys chwi i bob
gwirionedd: canys ni lefara o hono ei hun;
ond pa bethau bynnag a glywo, a lefara
efe: a'r pethau sy i ddyfod, a fynega efe i
chwi.
14 Efe a'm gogonedda i: canys efe a gym-
mer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi.
15 † Yr holl bethau sy eiddo'r Tad,
ydynt eiddof fi: o herwydd hyn y dywedais,
mai o'r eiddof fi y cymmer, ac y mynega i
chwi.
16 [l] Ychydig ennyd, ac ni'm gwelwch:
a thrachefn ychydig ennyd, a chwi a'm
gwelwch; am fy mod yn myned at y
Tad.
17 Am hynny y dywedodd *rhai* o'i ddis-
gyblion wrth eu gilydd, Beth yw hyn y
mae efe yn ei ddywedyd wrthym, Ychydig
ennyd, ac ni'm gwelwch: a thrachefn ychy-
dig ennyd, a chwi a'm gwelwch: ac, Am fy
mod yn myned at y Tad?
18 Am hynny hwy a ddywedasant, Beth
yw hyn y mae efe yn ei ddywedyd, Ychydig
ennyd? ni wyddom ni beth y mae efe yn
ei ddywedyd.
19 Yna y gwybu'r Iesu eu bod hwy yn
ewyllysio gofyn iddo; ac a ddywedodd wrth-
ynt, Ai ymofyn yr ydych â'ch gilydd am
hyn, oblegid i mi ddywedyd, Ychydig en-
nyd, ac ni'm gwelwch: a thrachefn ychydig
ennyd, a chwi a'm gwelwch?
20 Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Chwi
a wylwch ac a alerwch, a'r byd a lawen-
ycha: eithr chwi a fyddwch drístion; ond
eich tristwch a droir yn llawenydd.
21 [m] Gwraig wrth esgor, sydd mewn
tristwch, am ddyfod ei hawr: eithr wedi
geni y plentyn, nid yw hi yn cofio ei
gofid mwyach, gan lawenydd geni dyn
i'r byd.
22 A chwithau am hynny ydych yr
awrhon mewn tristwch: eithr mi a ym-
welaf â chwi drachefn, [n] a'ch calon a law-
enycha, a'ch llawenydd ni ddwg neb oddi
arnoch.
23 A'r dydd hwnnw ni ofynwch ddim i
mi. [o] Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Pa
bethau bynnag a ofynoch i'r Tad yn fy enw,
efe a'u rhydd i chwi.
24 Hyd yn hyn ni ofynasoch ddim
yn fy enw i: gofynwch, a chwi a gewch;
[p] fel y byddo eich llawenydd yn gy-
flawn.
25 Y pethau hyn a leferais wrthych mewn
damhegion: eithr y mae yr awr yn dyfod,
pan na leferwyf wrthych mewn damhegion
mwyach, eithr y mynegaf i chwi yn eglur
am y Tad.
26 Y dydd hwnnw y gofynwch yn fy
enw: ac nid wyf yn dywedyd i chwi, y
gweddïaf fi ar y Tad trosoch:

[a] Mat. 11. 6. [b] Pen. 9. 22, 34. a 12. 42. [c] Pen. 15. 21. 1 Cor. 2. 8. [d] Pen. 13. 19. a 14. 29. [e] Edrych Mat. 9. 15. [f] Pen. 14. 16, 26. a 15. 26. [g] Act. 2. 33. Eph. 4. 8. [h] Pen. 12. 31. Eph. 2. 2. Col. 2. 15. [i] Pen. 14. 17. [k] Pen. 14. 26. † Pen. 17. 10. [l] Pen. 7. 33. a 13. 33. a 14. 19. [m] Esay 26. 17. [n] Pen. 14. 1. a 20. 20. [o] Mat. 7. 7. Marc 6. 23. Pen. 14. 13. a 15. 16. [p] Pen. 15. 11.

27 Canys y Tad ei hun sydd yn eich caru chwi, am i chwi fy ngharu i, a q chredu fy nyfod i allan oddi wrth Dduw.

28 r Mi a ddaethum allan oddi wrth y Tad, ac a ddaethum i'r byd: trachefn yr wyf yn gadael y byd, ac yn myned at y Tad.

29 Ei ddisgyblion a ddywedasant wrtho, Wele, yr wyt ti yn awr yn dywedyd yn eglur, ac nid wyt yn dywedyd un ddammeg.

30 Yn awr y gwyddom s y gwyddost bob peth, ac nid rhaid it' ymofyn o neb â thi: wrth hyn t yr ydym yn credu ddyfod o honot allan oddi wrth Dduw.

31 Yr Iesu a'u hattebodd hwynt, A ydych chwi yn awr yn credu?

32 Wele, y mae'r awr yn dyfod, ac yr awrhon hi a ddaeth, u y gwasgerir chwi x bob un † at yr eiddo, ac y gadewch fi yn unig: ac y nid wyf yn unig, oblegid y mae'r Tad gyd â myfi.

33 Y pethau hyn a ddywedais wrthych, fel z y caffech dangnefedd ynof. Yn y byd gorthrymder a gewch: eithr cymmerwch gysur, myfi a orchfygais y byd.

q Pen. 3. 13. a 17. 8. r Pen. 13. 3. s Pen. 21. 17. t Pen. 17. 8. u Mat. 26. 31. Marc 14. 27. x Pen. 20. 10. † Neu, i'w gartref. y Pen. 8. 29. a 14. 10. z Esay 9. 6. Pen. 14. 27. Rhuf. 5. 1. Eph. 2. 14. Col. 1. 20.

## PEN. XVII.

1 *Crist yn gweddïo ar ei Dad am ei ogoneddu ef;* 6 *am gadw ei apostolion* 11 *mewn undeb* 17 *a gwirionedd:* 20 *am eu gogoneddu hwy, a'r holl ffyddloniaid eraill, gyd ag ef yn y nefoedd.*

33. Y Pethau hyn a lefarodd yr Iesu, ac efe a gododd ei lygaid i'r nef, ac a ddywedodd, Y Tad, a daeth yr awr; gogonedda dy Fab, fel y gogoneddo dy Fab dithau:

2 b Megis y rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd, fel am y cwbl a roddaist iddo, y rhoddai efe iddynt fywyd tragywyddol.

3 A c hyn yw'r bywyd tragywyddol; iddynt dy adnabod di yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist.

4 d Mi a'th ogoneddais di ar y ddaear; e mi a gwblheais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur.

5 Ac yr awrhon, O Dad, gogonedda di fyfi gyd â thi dy hun, â'r gogoniant f oedd i mi gyd â thi cyn bod y byd.

6 Mi a eglurais dy enw i'r dynion g a roddaist i mi allan o'r byd: eiddot ti oeddynt, a thi a'u rhoddaist hwynt i mi; a hwy a gadwasant dy air di.

7 Yr awrhon y gwybuant mai oddi wrthyt ti y mae'r holl bethau a roddaist i mi:

8 Canys y geiriau h a roddaist i mi, a roddais iddynt hwy; a hwy a'u derbyniasant, i ac a wybuant yn wir mai oddi wrthyt ti y daethum i allan, ac a gredasant mai tydi a'm hanfonaist i.

9 Drostynt hwy yr wyf fi yn gweddïo: nid dros y byd yr wyf yn gweddïo, ond dros y rhai a roddaist i mi; canys eiddot ti ydynt.

10 A'r eiddof fi oll sy eiddot ti, k a'r eiddot ti sy eiddof fi: a mi a ogoneddwyd ynddynt.

11 Ac nid wyf mwyach yn y byd, ond y rhai hyn sy yn y byd, a myfi sydd yn dyfod attat ti. Y Tad sancteiddiol, l cadw hwynt † trwy dy enw, y rhai a roddaist i mi; m fel y byddont un, n megis ninnau.

a Pen. 12. 23. a 13. 32. b Mat. 11. 27. a 28. 18. Pen. 3. 35. a 5. 27. 1 Cor. 15. 25. Phil. 2. 10. Heb. 2. 8. c Esay 53. 11. Jer. 9. 24. d Pen. 13. 32. a 14. 13. e Pen. 4. 34. a 19. 30. f Pen. 1. 1, 2. a 10. 30. a 14. 9. g Pen. 6. 37, 39. a 10. 29. h Pen. 8. 28. a 12. 49. a 14. 20. i Pen. 16. 27, 30. k Pen. 16. 15. l 1 Petr 1. 5. Judas 1. † yn.

12 Tra fum gyd â hwynt yn y byd, o mi a'u cedwais yn dy enw: y rhai a roddaist i mi, a gedwais, ac p ni chollwyd o honynt q ond mab y golledigaeth; r fel y cyflawnid yr ysgrythyr.

13 Ac yr awrhon yr wyf yn dyfod attat: a'r pethau hyn yr wyf yn eu llefaru yn y byd, fel y caffont fy llawenydd i yn gyflawn ynddynt eu hunain.

14 Myfi a roddais iddynt hwy dy air di: s a'r byd a'u casaodd hwynt, oblegid nad ydynt o'r byd, megis nad ydwyf finnau o'r byd.

15 Nid wyf yn gweddïo ar i ti eu cymmeryd hwynt allan o'r byd, eithr t ar i ti eu cadw hwynt rhag y drwg.

16 O'r byd nid ydynt, megis nad wyf finnau o'r byd.

17 u Sancteiddia hwynt ‡ yn dy wirionedd: x dy air sydd wirionedd.

18 y Fel yr anfonaist fi i'r byd, felly yr anfonais innau hwythau i'r byd.

19 Ac z er eu mwyn hwy yr wyf yn fy sancteiddio fy hun, fel y byddont hwythau wedi eu § sancteiddio ‖ yn y gwirionedd.

20 Ac nid wyf yn gweddïo dros y rhai hyn yn unig, eithr dros y rhai hefyd a gredant ynof fi trwy eu hymadrodd hwynt:

21 a Fel y byddont oll yn un; megis b yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minnau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni: fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i.

22 A'r gogoniant a roddaist i mi, a roddais iddynt hwy; c fel y byddont un, megis yr ydym ni yn un:

23 Myfi ynddynt hwy, a thithau ynof fi; fel y byddont wedi eu perffeithio yn un, ac fel y gwypo'r byd mai tydi a'm hanfonaist i, a charu o honot hwynt, megis y ceraist fi.

24 d Y Tad, y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gyd â myfi; fel y gwelont fy ngogoniant a roddaist i mi: oblegid ti a'm ceraist cyn seiliad y byd.

25 Y Tad cyfiawn, e nid adnabu y byd dydi: eithr f mi a'th adnabûm, g a'r rhai hyn a wybu mai tydi a'm hanfonaist i.

26 Ac mi a hyspysais iddynt dy enw, ac a'i hyspysaf: fel y byddo ynddynt hwy y cariad h â'r hwn y ceraist fi, a minnau ynddynt hwy.

m Adn. 21, &c. n Pen. 10. 30. o Pen. 6. 39. a 10. 28. Heb. 2. 13. p Pen. 18. 9. 1 Ioan 2. 19. q Pen. 6. 70. a 13. 18. r Psal. 109. 8. s Pen. 15. 18, 19. t Mat. 6. 13. 1 Ioan 5. 18. Gal. 1. 4. 2 Thess. 3. 3. u Pen. 15. 3. Act. 15. 9. Eph. 5. 26. 1 Petr 1. 22. ‡ â'th wirionedd. x 2 Sam. 7. 28. Pen. 8. 40. y Pen. 20. 21. z 1 Cor. 1. 2, 30. 1 Thess. 4. 7. Heb. 10. 10. § gwir sancteiddio. ‖ Neu, gan. a Adn. 11, 22, 23. Gal. 3. 28. b Pen. 10. 38. a 14. 11. c Pen. 14. 20. d Pen. 12. 26. a 14. 3. 1 Thess. 4. 17. e Pen. 15. 21. a 16. 3. f Pen. 7. 29. a 8. 55. a 10. 15. g Pen. 16. 27. Adn. 8. h Pen. 15. 9.

## PEN. XVIII.

1 *Judas yn bradychu'r Iesu.* 6 *Y swyddogion yn syrthio i'r llawr.* 10 *Petr yn torri clust Malchus.* 12 *Dal yr Iesu, a'i ddwyn at Annas, a Chaiaphas.* 15 *Petr yn gwadu Crist.* 19 *Holi'r Iesu ger bron Caiaphas;* 28 *a cher bron Pilat.* 36 *Ei deyrnas ef.* 40 *Yr Iuddewon yn dymuno cael gollwng Barabbas yn rhydd.*

GWEDI a i'r Iesu ddywedyd y geiriau hyn, efe a aeth allan, efe a'i ddisgyblion, dros b afon Cedron, lle'r oedd gardd, i'r hon yr aeth efe a'i ddisgyblion. 33.

2 A Judas hefyd, yr hwn a'i bradychodd ef, a adwaenai y lle: oblegid mynych y cyrchasai yr Iesu a'i ddisgyblion yno.

a Mat. 26. 36. Marc 14. 32. Luc 22. 39. b 2 Sam. 15. 23.

c Mat. 26. 47. Marc 14. 43. Luc 22. 47. Act. 1. 16.
3 c Judas gan hynny, wedi iddo gael by-
ddin a swyddogion gan yr arch-offeiriaid
a'r Phariseaid, a ddaeth yno â lanternau, a
lampau, ac arfau.
4 Yr Iesu gan hynny, yn gwybod pob
peth a oedd ar ddyfod arno, a aeth allan, ac
a ddywedodd wrthynt, Pwy yr ydych yn ei
geisio?
5 Hwy a attebasant iddo, Iesu o Naza-
reth. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Myfi
yw. A Judas, yr hwn a'i bradychodd ef,
oedd hefyd yn sefyll gyd â hwynt.
6 Cyn gynted gan hynny ag y dywedodd
efe wrthynt, Myfi yw, hwy a aethant yn
wysg eu cefnau, ac a syrthiasant i lawr.
7 Am hynny efe a ofynodd iddynt dra-
chefn, Pwy yr ydych yn ei geisio? A hwy
a ddywedasant, Iesu o Nazareth.
8 Yr Iesu a attebodd, Mi a ddywedais i
chwi mai myfi yw. Am hynny os myfi yr
ydych yn ei geisio, gadêwch i'r rhai 'n fyned
ymaith:
d Pen. 17. 12.
9 Fel y cyflawnid y gair a ddywedasai
efe, d O'r rhai a roddaist i mi, ni chollais
i'r un.
e Mat. 26. 51. Marc 14. 47. Luc 22. 49, 50.
10 e Simon Petr gan hynny â chanddo
gleddyf, a'i tynnodd ef, ac a darawodd was
yr arch-offeiriad, ac a dorrodd ymaith ei
glust ddehau ef: ac enw y gwas oedd
Malchus.
f Mat. 20. 22. a 26. 39, 42.
11 Am hynny yr Iesu a ddywedodd wrth
Petr, Dod dy gleddyf yn y wain: f y cwp-
pan a roddes y Tad i mi, onid yfaf ef?
12 Yna'r fyddin, a'r milwriad, a swydd-
ogion yr Iuddewon, a ddaliasant yr Iesu, ac
a'i rhwymasant ef,
g Edrych Mat. 26. 57. h Luc 3. 2.
13 Ac g a'i dygasant ef at h Annas yn
gyntaf (canys chwegrwn Caiaphas, yr hwn
oedd arch-offeiriad y flwyddyn honno, yd-
oedd efe) †
† *Ac Annas a'i hanfonasai yn rhwym at Caiaphas yr arch-offeiriad,* adn. 24.
14 i A Chaiaphas oedd yr hwn a gyng-
horasai i'r Iuddewon, mai buddiol oedd
farw un dyn dros y bobl.
i Pen. 11. 50.
15 ¶ k Ac yr oedd yn canlyn yr Iesu,
Simon Petr, a disgybl arall. A'r disgybl
hwnnw oedd adnabyddus gan yr arch-
offeiriad, ac efe a aeth i mewn gyd â'r
Iesu i ‡ lŷs yr arch-offeiriad.
k Mat. 26. 58. Marc 14. 54. Luc 22. 54. ‡ *neuadd.*
16 l A Phetr a safodd wrth y drws allan.
Yna y disgybl arall yr hwn oedd adna-
byddus gan yr arch-offeiriad a aeth allan,
ac a ddywedodd wrth y ddrysores, ac a ddug
Petr i mewn.
l Mat. 26. 69.
17 Yna y dywedodd y llangces oedd
ddrysores wrth Petr, Onid wyt tithau o
ddisgyblion y dyn hwn? Dywedodd yntau,
Nac wyf.
18 A'r gweision a'r swyddogion, gwedi
gwneuthur tân glo (o herwydd ei bod hi yn
oer) oeddynt yn sefyll, ac yn ymdwymno:
ac yr oedd Petr gyd â hwynt yn sefyll, ac
yn ymdwymno.
19 ¶ A'r arch-offeiriad a ofynodd i'r Iesu
am ei ddisgyblion, ac am ei athrawiaeth.
m Pen. 7. 26.
20 Yr Iesu a attebodd iddo, m Myfi a
lefarais yn eglur wrth y byd: yr oeddwn
bob amser yn athrawiaethu yn y synagog,
ac yn y deml, lle mae'r Iuddewon yn ym-
gynnull bob amser; ac yn ddirgel ni ddy-
wedais i ddim.
21 Paham yr wyt ti yn gofyn i mi? gofyn
i'r rhai a'm clywsant, beth a ddywedais
wrthynt: wele, y rhai hynny a wyddant pa
bethau a ddywedais i.
22 Wedi iddo ddywedyd y pethau hyn,
un o'r swyddogion a'r oedd yn sefyll ger
llaw, n a roddes § gernod i'r Iesu, gan ddy- n Jer. 20. 2.
wedyd, Ai felly yr wyt ti yn atteb yr arch- Act. 23. 2.
offeiriad? § *ffonnod, neu, wial-ennod.*
23 Yr Iesu a attebodd iddo, Os drwg y
dywedais, tystiolaetha o'r drwg: ac os da,
paham yr wyt yn fy nharo i?
24 (o Ac Annas a'i hanfonasai ef yn o Mat. 26.
rhwym at Caiaphas yr arch-offeiriad) 57.
25 p A Simon Petr oedd yn sefyll, ac p Mat. 26.
yn ymdwymno. Hwythau a ddywedasant 69, 71.
wrtho, Onid wyt tithau hefyd o'i ddisgybl- Marc 14. 69.
ion ef? Yntau a wadodd, ac a ddywedodd, Luc 22. 58.
Nac wyf.
26 Dywedodd un o weision yr arch-offeir-
iad (câr i'r hwn y torrasai Petr ei glust) Oni
welais i di gyd ag ef yn yr ardd?
27 Yna Petr a wadodd drachefn; ac q yn q Pen. 13
y man y canodd y ceiliog. 38.
28 ¶ r Yna y dygasant yr Iesu oddi r Mat. 27.
wrth Caiaphas, ‖ i'r dadleudy: a'r bore 2. Marc 15. 1.
ydoedd hi; s ac nid aethant hwy i mewn Luc 23. 1.
i'r dadleudy, rhag eu halogi; eithr fel y ‖ Neu,
gallent fwytta'r pasg. *i dŷ Pilat,* Mat. 27. 27.
29 Yna Pilat a aeth allan attynt, ac a s Act. 10.
ddywedodd, Pa achwyn yr ydych chwi yn 28. a 11. 3.
ei ddwyn yn erbyn y dyn hwn?
30 Hwy a attebasant ac a ddywed-
asant wrtho, Oni bai fod hwn yn ddrwg-
weithredwr, ni thraddodasem ni ef attat
ti.
31 Am hynny y dywedodd Pilat wrthynt,
Cymmerwch chwi ef, a bernwch ef yn ol
eich cyfraith chwi. Yna yr Iuddewon a
ddywedasant wrtho, Nid cyfreithlon i ni
ladd neb:
32 t Fel y cyflawnid gair yr Iesu, yr hwn t Mat. 20.
a ddywedasai efe, gan arwyddocâu o ba 19. Pen. 12. 32.
angau y byddai farw.
33 u Yna Pilat a aeth drachefn i'r u Mat. 27.
dadleudy, ac a alwodd yr Iesu, ac a ddy- 11.
wedodd wrtho, Ai ti yw Brenhin yr Iu-
ddewon?
34 Yr Iesu a attebodd iddo, Ai o honot
dy hun yr wyt ti yn dywedyd hyn, ai eraill
a'i dywedasant i ti am danaf fi?
35 Pilat a attebodd, Ai Iuddew ydwyf
fi? Dy genedl dy hun a'r arch-offeiriaid
a'th draddodasant i mi. Beth a wnaethost
ti?
36 x Yr Iesu a attebodd, y Fy mrenhin- x 1 Tim. 6.
iaeth i nid yw o'r byd hwn. Pe o'r byd 13.
hwn y byddai fy mrenhiniaeth i, fy ngweis- y Pen. 6.
ion i a ymdrechent, fel na'm rhoddid i'r 15.
Iuddewon: ond yr awrhon nid yw fy mren-
hiniaeth i oddi yma.
37 Yna y dywedodd Pilat wrtho, Wrth
hynny ai Brenhin wyt ti? Yr Iesu a
attebodd, Yr ydwyt ti yn dywedyd mai
Brenhin wyf fi. Er mwyn hyn y'm ganed,
ac er mwyn hyn y daethum i'r byd, fel y
tystiolaethwn i'r gwirionedd. Pob un a'r
z sydd o'r gwirionedd, sydd yn gwrando z 1 Ioan 3.
fy llefervdd i. 19.
38 Pilat a ddywedodd wrtho, Beth yw
gwirionedd? Ac wedi iddo ddywedyd hyn, a Mat. 27.
efe a aeth allan drachefn at yr Iuddewon, ac 24.
a ddywedodd wrthynt, a Nid wyf fi yn cael Luc 23. 4. Pen. 19. 4.
dim † achos ynddo ef. † *bai arno.*
39 b Eithr y mae gennych chwi ddefod, b Mat. 27.
i mi ollwng i chwi un yn rhydd ar y 15.
pasg: a fynnwch chwi gan hynny i mi Marc 15. 6.
ollwng yn rhydd i chwi Frenhin yr Iu- Luc 23. 17.
ddewon?
40 c Yna y llefasant oll drachefn, gan c Act. 7. 14.
ddywedyd, Nid hwnnw, ond Barabbas. d Luc 23.
d A'r Barabbas *hwnnw* oedd leidr. 19.

PEN. XIX.

1 *Fflan-gellu Crist, a'i goroni â drain, a'i guro. 4 Pilat yn chwennych ei ollwng ef yn rhŷdd; etto wedi ei orchfygu gan lefain yr Iuddewon, yn ei roddi ef i'w groes-hoelio. 23 Bwrw coel-brennau ar ei ddillad ef: 26 yntau yn gorchymyn ei fam i Ioan; 28 ac yn marw. 31 Gwanu ei ystlys ef. 38 Joseph a Nicodemus yn ei gladdu ef.*

33. [a] Mat. 27. 26. YNA gan hynny [a] y cymmerodd Pilat
Marc 15. 15. yr Iesu, ac a'i fflan-gellodd *ef.*

2 A'r milwŷr a blethasant goron o ddrain,
ac a'i gosodasant ar ei ben ef, ac a roisant
wisg o borphor am dano;

3 Ac a ddywedasant, Henffych well, Bren-
† *ffon-nodiau.* hin yr Iuddewon; ac a roisant iddo † ger-
nodiau.

4 Pilat gan hynny a aeth allan drachefn,
ac a ddywedodd wrthynt, Wele yr wyf fi
yn ei ddwyn ef allan i chwi, fel y gwypoch
‡ *achos.* nad wyf fi yn cael ynddo ef un ‡ bai.

5 Yna y daeth yr Iesu allan, yn arwain y
goron ddrain, a'r wisg borphor. A *Philat*
a ddywedodd wrthynt, Wele y dyn.

6 Yna yr arch-offeiriaid a'r swyddogion,
pan welsant ef, a lefasant, gan ddywedyd,
Croes-hoelia, croes-hoelia *ef.* Pilat a ddy-
wedodd wrthynt, Cymmerwch chwi ef, a
chroes-hoeliwch: canys nid wyf fi yn cael
dim bai ynddo.

[b] Lef. 24. 16. 7 Yr Iuddewon a attebasant iddo, [b] Y
mae gennym ni gyfraith, ac wrth ein cy-
[c] Mat. 26. 56. fraith ni efe a ddylai farw, am iddo [c] ei
Pen. 5. 18. wneuthur ei hun yn Fab Duw.
a 10. 33. 8 ¶ A phan glybu Pilat yr ymadrodd
hwnnw, efe a ofnodd yn fwy;

9 Ac a aeth drachefn i'r dadleudy, ac a
ddywedodd wrth yr Iesu, O ba le yr wyt ti?
Ond ni roes yr Iesu atteb iddo.

10 Yna Pilat a ddywedodd wrtho, Oni
ddywedi di wrthyf fi? oni wyddost ti fod
gennyf awdurdod i'th groes-hoelio di, a bod
gennyf awdurdod i'th ollwng yn rhŷdd?

11 Yr Iesu a attebodd, Ni byddai i ti ddim
awdurdod arnaf fi, oni bai ei fod wedi ei
roddi i ti oddi uchod: am hynny yr hwn
a'm traddodes i ti, sydd fwy ei bechod.

12 O hynny allan y ceisiodd Pilat ei ollwng
ef yn rhŷdd: ond yr Iuddewon a lefasant,
gan ddywedyd, Os gollyngi di hwn yn
[d] Act. 17. 7. rhŷdd, nid wyt ti yn garedig i Cesar. [d] Pwy
bynnag a'i gwnelo ei hun yn frenhin, y mae
yn dywedyd yn erbyn Cesar.

13 Yna Pilat, pan glybu yr ymadrodd
hwn, a ddug allan yr Iesu; ac a eisteddodd
ar yr orsedd-fainge, yn y lle a elwir y Pal-
mant, ac yn Hebraeg, Gabbatha.

[e] Mat. 27. 62. 14 A [e] darpar-wyl y pasg oedd hi, ac
ynghylch y chweched awr: ac efe a ddy-
wedodd wrth yr Iuddewon, Wele eich
Brenhin.

15 Eithr hwy a lefasant, Ymaith ag *ef,*
[f] Gen. 49. 10. ymaith ag *ef,* croes-hoelia ef. Pilat a ddy-
wedodd wrthynt, A groes-hoeliaf fi eich
[g] Mat. 27. 26, 31. Brenhin chwi? A'r arch-offeiriaid a atteb-
Marc 15. 15. asant, [f] Nid oes i ni frenhin ond Cesar.
Luc 23. 24. 16 [g] Yna gan hynny efe a'i traddodes ef
[h] Mat. 27. 31, 33. iddynt i'w groes-hoelio. A hwy a gymme-
rasant yr Iesu, ac a'i dygasant ymaith.
Marc 15. 16. 17 [h] Ac efe gan ddwyn ei groes, a ddaeth
i le a elwid § *Lle*'r ben-glog, ac a elwir yn
§ *Y ben-glogfa.* Hebraeg, Golgotha:
[i] Mat. 27. 37. 18 Lle y croes-hoeliasant ef, a dau eraill
gyd ag ef, un o bob tu, a'r Iesu yn y canol.
Marc 15. 26. 19 ¶ [i] A Philat a 'sgrifenodd ditl, ac
Luc 23. 38. a'i dododd ar y groes. A'r ysgrifen oedd,
IESU O NAZARETH, BRENHIN YR
IUDDEWON.

20 Y titl hwn gan hynny a ddarllenodd
llawer o'r Iuddewon: oblegid agos i'r ddin-
as oedd y fan lle y croes-hoeliwyd yr Iesu,
ac yr oedd wedi ei 'sgrifenu yn Hebraeg,
Groeg, *a* Lladin.

21 Yna arch-offeiriaid yr Iuddewon a ddy-
wedasant wrth Pilat, Na 'sgrifena, Brenhin
yr Iuddewon; eithr dywedyd o hono ef,
Brenhin yr Iuddewon ydwyf fi.

22 Pilat a attebodd, Yr hyn a 'sgrifenais,
a 'sgrifenais.

23 ¶ [k] Yna'r milwŷr, wedi iddynt groes- [k] Mat. 27. 35.
hoelio yr Iesu, a gymmerasant ei ddillad
ef (ac a wnaethant bedair rhan, i bob mil- Marc 15. 24.
wr ran) a'i bais *ef:* a'i bais ef oedd ddi Luc 23. 34.
wnïad, wedi ei ‖ gwau o'r cwr uchaf trwy- ‖ *gweuthio.*
ddi oll.

24 Hwythau a ddywedasant wrth eu
gilydd, Na thorrwn hi, ond bwriwn goel-
brennau am dani, eiddo pwy fydd hi: fel y
cyflawnid yr ysgrythyr sydd yn dywedyd,
[l] Rhannasant fy nillad yn eu mysg, ac am fy [l] Psal. 22. 18.
mhais y bwriasant goel-brennau. A'r mil-
wŷr a wnaethant y pethau hyn.

25 ¶ [m] Ac yr oedd yn sefyll wrth groes [m] Mat. 27. 55.
yr Iesu, ei fam ef, a chwaer ei fam ef, Mair
*gwraig* † Cleophas, a Mair Magdalen. Marc 15. 40.

26 Yr Iesu gan hynny, pan welodd ei fam Luc 23. 49.
[n] a'r disgybl yr hwn a garai efe yn sefyll † *Clopas.*
ger llaw, a ddywedodd wrth ei fam, [o] *O* [n] Pen. 13.
wraig, wele dy fab. 23. a 21. 24.

27 Gwedi hynny y dywedodd wrth y [o] Pen. 2. 4.
disgybl, Wele dy fam. Ac o'r awr honno
allan y cymmerodd y disgybl hi i'w gartref.

28 ¶ Wedi hynny yr Iesu, yn gwybod fod
pob peth wedi ei orphen weithian, [p] fel y [p] Psal. 69.
cyflawnid yr ysgrythyr, a ddywedodd, Y 21.
mae syched arnaf.

29 Yr oedd gan hynny lestr wedi ei osod
yn llawn o finegr: a [q] hwy a lanwasant ys- [q] Mat. 27.
bwng o finegr, ac a'i rhoddasant ynghylch 48.
isop, ac a'i dodasant wrth ei enau ef.

30 Yna pan gymmerodd yr Iesu y finegr,
efe a ddywedodd, [r] Gorphenwyd: a chan [r] Pen. 17.
ogwyddo ei ben, efe a roddes i fynu yr 4.
yspryd.

31 Yr Iuddewon gan hynny, fel nad
arhoai y cyrph ar y groes ar y sabbath, o
herwydd ei bod yn ddarpar-wyl (canys
mawr oedd y dydd sabbath hwnnw) a
ddeisyfiasant ar Pilat, gael torri eu hesgei-
riau hwynt, a'u tynnu i lawr.

32 Yna y milwŷr a ddaethant, ac a dor-
rasant esgeiriau y cyntaf, a'r llall yr hwn a
groes-hoeliasid gyd ag ef.

33 Eithr wedi iddynt ddyfod at yr Iesu,
pan welsant ef wedi marw eisoes, ni thor-
rasant ei esgeiriau ef.

34 Ond un o'r milwŷr a wanodd ei
ystlys ef â gwaywffon; ac yn y fan [s] daeth [s] 1 Ioan 5.
allan waed a dwfr. 6.

35 A'r hwn a'i gwelodd, a dystiolaethodd;
a gwir yw ei dystiolaeth: ac efe a ŵyr ei
fod yn dywedyd gwir, fel y credoch
chwi. [t] Exod. 12.

36 Canys y pethau hyn a wnaethpwyd, 46. Num. 9. 12.
[t] fel y cyflawnid yr ysgrythyr, Ni thorrir Psal. 34. 20.
asgwrn o hono. [u] Zech. 12.

37 A thrachefn, [u] ysgrythyr arall sydd 10.
yn dywedyd, Hwy a edrychant ar yr hwn [x] Mat. 27. 57.
a wanasant. Marc 15.

38 ¶ [x] Ac ar ol hyn, Joseph o Arima- 42.
thea (yr hwn oedd ddisgybl i'r Iesu, eithr Luc 23. 50.
yn guddiedig, [y] rhag ofn yr Iuddewon) a [y] Pen. 9. 22. a 12. 42.

ddeisyfiodd ar Pilat, gael tynnu i lawr gorph
yr Iesu. A Philat a ganiattaodd iddo. Yna
y daeth efe ac a ddug ymaith gorph yr Iesu.
Pen. 3. 1, 39 A daeth [z] Nicodemus hefyd (yr hwn
. a 7. 50. ar y cyntaf a ddaethai at yr Iesu o hŷd nos)
ac a ddug fyrr ac aloës ynghymmysg, tu a
chan-pwys.
40 Yna y cymmerasant gorph yr Iesu, ac a'i
Act. 5. 6. [a] rhwymasant mewn llïeiniau, gyd ag arogl-
au, fel y mae arfer yr Iuddewon ar gladdu.
41 Ac yn y fangre lle y croes-hoeliasid ef,
yr oedd gardd; a bedd newydd yn yr ardd,
yn yr hwn ni ddodasid dyn erioed.
42 Ac yno, rhag nesed oedd darpar-*wyl*
yr Iuddewon, am fod y bedd hwnnw yn
agos, y rhoddasant yr Iesu.

## PEN. XX.

1 *Mair yn dyfod at y bedd; 3 a Phetr hefyd ac Ioan; heb wybod adgyfodi o'r Iesu. 11 Yr Iesu yn ymddangos i Mair Magdalen; 19 ac i'w ddisgyblion. 24 Anghrediniaeth, a chyffes Thomas. 30 Bod yr ysgrythyr lân yn ddigonol i iachawdwriaeth.*

33. Y [a] Dydd cyntaf o'r † wythnos, Mair
Mat. 28. Magdalen a ddaeth y bore, a hi etto
Marc 16. 1. yn dywyll, at y bedd; ac a welodd y maen
Luc 24. 1. wedi ei dynnu ymaith oddi ar y bedd.
† sabbathau. 2 Yna y rhedodd hi, ac a ddaeth at Si-
mon Petr, a'r [b] disgybl arall yr hwn yr
Pen. 13. 23. a 21. 7, 20, 24. oedd yr Iesu yn ei garu, ac a ddywedodd
wrthynt, Hwy a ddygasant yr Arglwydd
ymaith o'r bedd, ac ni wyddom ni pa le y
dodasant ef.
Luc 24. 12. 3 [c] Yna Petr a aeth allan, a'r disgybl
arall; a *hwy* a ddaethant at y bedd:
4 Ac a redasant ill dau ynghŷd: a'r dis-
gybl arall a redodd o'r blaen yn gynt nâ
Phetr, ac a ddaeth yn gyntaf at y bedd.
5 Ac wedi iddo grymmu, efe a ganfu
Pen. 19. 40. [d] y llïeiniau wedi eu gosod: er hynny nid
aeth efe i mewn.
6 Yna y daeth Simon Petr yn ei ganlyn
ef, ac a aeth i mewn i'r bedd, ac a ganfu y
llïeiniau wedi eu gosod;
Pen. 11. 44. 7 [e] A'r napcyn a fuasai am ei ben ef, we-
di ei osod, nid gyd â'r llïeiniau, ond o'r
neilldu wedi ei blygu mewn lle arall.
8 Yna yr aeth y disgybl arall hefyd i
mewn, yr hwn a ddaethai yn gyntaf at y
bedd; ac a welodd, ac a gredodd.
Psal. 16. 10. 9 Canys hyd yn hyn ni wyddent [f] yr
Act. 2. 25, ysgrythyr, fod yn rhaid iddo gyfodi o feirw.
31. a 13. 35. 10 Yna y disgyblion a aethant ymaith
drachefn at yr eiddynt.
Marc 16. 5. 11 ¶ [g] Ond Mair a safodd wrth y bedd
oddi allan, yn wylo: ac fel yr oedd hi yn
wylo, hi a ymostyngodd i'r bedd;
12 Ac a ganfu ddau angel mewn *gwisg-*
*oedd* gwŷnion, yn eistedd, un wrth ben, ac un
wrth draed y lle y dodasid corph yr Iesu.
13 A hwy a ddywedasant wrthi, O wraig,
paham yr wyt ti yn wylo? Hithau a ddy-
wedodd wrthynt, Am ddwyn o honynt hwy
fy Arglwydd i ymaith, ac na's gwn pa le y
dodasant ef.
h Mat. 28. 14 [h] Ac wedi dywedyd o honi hyn, hi a
9. Marc 16. 9. droes drach ei chefn, ac a welodd yr Iesu yn
i Luc 24. sefyll: ac [i] ni's gwyddai *hi* mai'r Iesu oedd
16, 31. efe.
Pen. 21. 4. 15 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, O wraig,
paham yr wyt ti yn wylo? pwy yr wyt ti yn
ei geisio? Hithau yn tybied mai'r garddwr
oedd efe, a ddywedodd wrtho, Syr, os tydi
a'i dygaist ef, dywaid i mi pa le y dodaist
ef, a myfi a'i cymmeraf ef ymaith.

16 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Mair. Hi-
thau a droes, ac a ddywedodd wrtho, Rab-
boni; yr hyn yw dywedyd, Athraw.
17 Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Na chy-
ffwrdd â mi; oblegid ni ddyrchefais i etto at
fy Nhad: eithr dos at [k] fy mrodyr, a dy- k Psal. 22.
waid wrthynt, [l] Yr wyf yn dyrchafu at fy 22. Mat. 28. 10.
Nhad i a'ch Tad chwithau, [m] a'm Duw i Heb. 2. 11.
a'ch Duw chwithau. l Pen. 16.
18 Mair Magdalen a ddaeth ac a fyneg- 28
odd i'r disgyblion, weled o honi hi yr Ar- m Eph. 1.
glwydd, a dywedyd o hono y pethau hyn 17.
iddi.
19 ¶ [n] Yna, a hi yn hwyr, y dydd cyntaf n Marc 16. 14.
hwnnw o'r ‡ wythnos, a'r drysau yn gauad Luc 24. 36.
lle yr oedd y disgyblion wedi ymgasglu yng- 1 Cor. 15.
hŷd rhag ofn yr Iuddewon, daeth yr Iesu, 5.
ac a safodd yn y canol, ac a ddywedodd ‡ sabbathau.
wrthynt, Tangnefedd i chwi.
20 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a
ddangosodd iddynt *ei* ddwylaw, a'i ystlys.
[o] Yna'r disgyblion a lawenychasant pan o Pen. 16.
welsant yr Arglwydd. 22.
21 Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt dra-
chefn, Tangnefedd i chwi: [p] megis y dan- p Mat. 28.
fonodd y Tad fi, yr wyf finnau yn eich dan- 18. Pen. 17. 18.
fon chwi. Heb. 3. 1.
22 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a 2 Tim. 2. 2.
anadlodd *arnynt*, ac a ddywedodd wrthynt,
Derbyniwch yr Yspryd Glân.
23 [q] Pwy bynnag y maddeuoch eu pech- q Mat. 16.
odau, maddeuir iddynt; *a'r eiddo* pwy byn- 19. a 18. 18.
nag a attalioch, hwy a attaliwyd.
24 ¶ Eithr Thomas, un o'r deuddeg, yr
hwn [r] a elwir Didymus, nid oedd gyd â r Pen. 11.
hwynt pan ddaeth yr Iesu. 16.
25 Y disgyblion eraill gan hynny a ddy-
wedasant wrtho, Ni a welsom yr Arglwydd.
Yntau a ddywedodd wrthynt, Oni chaf we-
led yn ei ddwylaw ef ôl yr hoelion, a dodi
fy mys yn ôl yr hoelion, a dodi fy llaw yn
ei ystlys ef, ni chredaf fi.
26 ¶ Ac wedi wyth niwrnod, drachefn yr
oedd ei ddisgyblion ef i mewn, a Thomas
gyd â hwynt. Yna yr Iesu a ddaeth, a'r
drysau yn gauad, ac a safodd yn y canol, ac
a ddywedodd, Tangnefedd i chwi.
27 Wedi hynny y dywedodd efe wrth
Thomas, Moes yma dy fys, a gwel fy nwy-
law; ac [s] estyn dy law, a dod yn fy ystlys: s 1 Ioan 1.
ac na fydd anghredadyn, ond credadyn. 1.
28 A Thomas a attebodd ac a ddywedodd
wrtho, Fy Arglwydd, a'm Duw.
29 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Am i ti
fy ngweled, Thomas, y credaist: [t] bendige- t 1 Petr 1.
dig *yw* y rhai ni welsant, ac a gredasant. 8.
30 ¶ [u] A llawer hefyd o arwyddion eraill u Pen. 21.
a wnaeth yr Iesu yngŵydd ei ddisgyblion, y 25.
rhai nid ydynt ysgrifenedig yn y llyfr hwn.
31 [x] Eithr y pethau hyn a 'sgrifenwyd, fel x Luc 1. 4.
y credoch chwi mai yr Iesu yw Crist, Mab
Duw; a chan gredu, y caffoch fywyd yn ei
enw ef.

## PEN. XXI.

1 *Ei ddisgyblion yn adnabod Crist, ar ei ail-ymddangosiad, wrth y ddalfa fawr o bysgod: 12 yntau yn ciniawa gyd â hwynt: 15 yn rhoddi gorchymyn mawr ar Petr, i borthi ei ŵyn ef a'i ddefaid: 18 yn ei rybuddio ef o'i farwolaeth: 22 yn ceryddu ei brysurdeb ef ynghylch Ioan. 25 Y diben.*

GWEDI'r pethau hyn, yr Iesu a ym- 33.
ddangosodd drachefn i'w ddisgyblion
wrth for Tiberias: ac fel hyn yr ymddang-
osodd.
2 Yr oedd ynghŷd Simon Petr, a Thomas

yr hwn a elwir Didymus, a [a] Nathanaël o Cana yn Galilea, a [b] *meibion* Zebedëus, a dau eraill o'i ddisgyblion ef.

[a] Pen. 1. 45. [b] Mat. 4. 21.

3 Dywedodd Simon Petr wrthynt, Yr wyf fi yn myned i bysgotta. Dywedasant wrtho, Yr ydym ninnau hefyd yn dyfod gyd â thi. A hwy a aethant allan, ac a ddringasant i long yn y man: a'r nos honno ni ddaliasant ddim.

4 A phan ddaeth y bore weithian, safodd yr Iesu ar y lan: eithr y disgyblion [c] ni wyddent mai 'r Iesu ydoedd.

[c] Pen. 20. 14.

5 Yna [d] yr Iesu a ddywedodd wrthynt, † *O* blant, a oes gennych ddim bwyd? Hwythau a attebasant iddo, Nac oes.

[d] Luc 24. 41. † Neu, Ha wŷr.

6 Yntau a ddywedodd wrthynt, [e] Bwriwch y rhwyd i 'r tu dehau i 'r llong, a chwi a gewch. Hwy a fwriasant gan hynny; ac ni allent bellach ei thynnu, gan y lliaws pysgod.

[e] Luc 5. 4, 6, 7.

7 Am hynny [f] y disgybl hwnnw yr oedd yr Iesu yn ei garu a ddywedodd wrth Petr, Yr Arglwydd yw. Yna Simon Petr, pan glybu mai yr Arglwydd oedd, a wregysodd ei amwisg (canys noeth oedd efe) ac a'i bwriodd ei hun i 'r môr.

[f] Pen. 13. 23. a 20. 2.

8 Eithr y disgyblion eraill a ddaethant mewn llong (oblegid nid oeddynt bell oddi wrth dir, ond megis dau can cufydd) dan lusgo y rhwyd â'r pysgod.

9 A chyn gynted ag y daethant i dir, hwy a welent dân o farwor wedi ei osod, a physgod wedi eu dodi arno, a bara.

10 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Dygwch o'r pysgod a ddaliasoch yr awrhon.

11 Simon Petr a esgynodd, ac *a* dynnodd y rhwyd i dir, yn llawn o bysgod mawrion, cant a thri ar ddeg a deugain: ac er bod cymmaint, ni thorrodd y rhwyd.

12 Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, [g] Deuwch, ciniawwch. Eithr ni feiddiai neb o'r disgyblion ofyn iddo, Pwy wyt ti? am eu bod yn gwybod mai yr Arglwydd oedd.

[g] Act. 10. 41.

13 Yna y daeth yr Iesu, ac a gymmerth fara, ac a'*i* rhoddes iddynt, a'*r* pysgod yr un modd.

14 [h] Y drydedd waith hon yn awr yr ymddangosodd yr Iesu i'w ddisgyblion, wedi iddo gyfodi o feirw.

[h] Edrych Pen. 20. 19, 26.

15 ¶ Yna gwedi iddynt giniawa, yr Iesu a ddywedodd wrth Simon Petr, Simon *mab* Jona, a wyt ti yn fy ngharu i yn fwy nâ'r rhai hyn? Dywedodd yntau wrtho, Ydwyf, Arglwydd; ti a wyddost fy mod yn dy garu di. Dywedodd yntau wrtho, Portha fy ŵyn.

16 Efe a ddywedodd wrtho drachefn yr ail waith, Simon *mab* Jona, a wyt ti yn fy ngharu i? Dywedodd yntau wrtho, Ydwyf, Arglwydd; ti a wyddost fy mod yn dy garu di. Dywedodd yntau wrtho, ‡ Bugeilia fy nefaid.

‡ *Portha.*

17 Efe a ddywedodd wrtho y drydedd waith, Simon *mab* Jona, a wyt ti yn fy ngharu i? Petr a dristaodd, am iddo ddywedyd wrtho y drydedd waith, A wyt ti yn fy ngharu i? Ac efe a ddywedodd wrtho, Arglwydd, [i] ti a wyddost bob peth: ti a wyddost fy mod i yn dy garu di. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Portha fy nefaid.

[i] Pen. 16. 30.

18 [k] Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Pan oeddit ieuangc, ti a'th wregysaist dy hun, ac a rodiaist lle y mynnaist: eithr pan elech yn hen, ti a estyni dy ddwylaw, ac arall a'th wregysa, ac a'th arwain lle ni fynnit.

[k] Pen. 13. 36. Act. 12. 3, 4.

19 A hyn a ddywedodd efe, gan arwyddo [l] trwy ba fath angau y gogoneddai efe Dduw. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ddywedodd wrtho, Canlyn fi.

[l] 2 Petr 1. 14.

20 ¶ A Phetr a drodd, ac a welodd [m] y disgybl yr oedd yr Iesu yn ei garu, yn canlyn (yr hwn hefyd a bwysasai ar ei ddwyfron ef ar swpper, ac a ddywedasai, Pwy, Arglwydd, yw yr hwn a'th fradycha di?)

[m] Pen. 13. 23, 25. a 20. 2.

21 Pan welodd Petr hwn, efe a ddywedodd wrth yr Iesu, Arglwydd, ond beth *a wna* hwn?

22 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Os mynnaf iddo aros hyd oni ddelwyf, beth *yw hynny* i ti? canlyn di fyfi.

23 Am hynny yr aeth y gair yma allan ym mhlith y brodyr, na fyddai y disgybl hwnnw farw: ac ni ddywedasai yr Iesu wrtho na fyddai efe farw: ond, Os mynnaf iddo aros hyd oni ddelwyf, beth *yw hynny* i ti?

24 Hwn yw 'r disgybl sydd yn tystiolaethu am y pethau hyn, ac a 'sgrifenodd y pethau hyn; ac [n] ni a wyddom fod ei dystiolaeth ef yn wir.

[n] Pen. 19. 35. 3 Ioan 12.

25 [o] Ac y mae hefyd lawer o bethau eraill a wnaeth yr Iesu, y rhai pe d ysgrifenid hwy bob yn un ac un, [p] nid wyf yn tybied y cynhwysai y byd y llyfrau a 'sgrifenid. Amen.

[o] Pen. 20. 30. [p] Amos 7. 10.

# ¶ ACTAU, *neu,* WEITHREDOEDD yr APOSTOLION Sanctaidd.

## PEN. I.

*Crist, er mwyn parottôi ei apostolion i weled ei ddyrchafiad ef, yn eu casglu hwy ynghŷd i fynydd yr Olewŷdd; ac yn gorchymyn iddynt ddisgwyl yn Jerusalem am ddanfon yr Yspryd Glân; ac yn addaw cyn nemmawr o ddyddiau ei anfon ef; trwy rinwedd yr hwn y byddynt yn dystion iddo ef hyd eithafoedd y ddaear. 9 Ar ol ei ymddyrchafiad ef, y mae dau angel yn eu rhybuddio hwy i ymadael, ac i roddi eu meddyliau ar ei ail ddyfodiad ef. 12 Hwythau felly yn dychwelyd; a chan ymrôi i weddi, yn dewis Matthias yn apostol yn lle Judas.*

Bl. yr Argl. 33.

Y Traethawd cyntaf a wnaethum, O [a] Theophilus, am yr holl bethau a ddechreuodd yr Iesu eu gwneuthur a'u dysgu,

[a] Luc 1. 3.

2 [b] Hyd y dydd y derbyniwyd ef i fynu, wedi iddo trwy yr Yspryd Glân [c] roddi gorchymynion i'r apostolion a etholasai:

[b] Mat. 16. 19. Luc 9. 51. 1 Tim. 3. 16.

3 [d] I'r rhai hefyd yr ymddangosodd efe yn fyw wedi iddo ddioddef, trwy lawer o arwyddion sicr; gan fod yn weledig iddynt dros ddeugain niwrnod, a dywedyd y pethau a berthynent i deyrnas Dduw.

[c] Mat. 28. 19. Marc 16. 15. Ioan 20. 21.

4 [e] Ac wedi † ymgynnull gyd â hwynt, efe a orchymynodd iddynt, nad ymadawent o Jerusalem, eithr disgwyl am addewid y Tad, [f] yr hwn, *eb efe,* a glywsoch gennyf fi.

[d] Marc 16. 14. Ioan 20. 19. a 21. 1. 1 Cor. 15. 5.

5 [g] Oblegid Ioan yn ddïau a fedyddiodd â dwfr; [h] ond chwi a fedyddir â'r Yspryd Glân, cyn nemmawr o ddyddiau.

[e] Luc 24. 43, 49.

† Neu, *cyttal,* neu, *cyd-fwytta â hwynt.* [f] Ioan 14. 16, 26, 27. a 15. 26. a 16. 7. [g] Mat. 3. 11. Pen. 11. 16. a 19. 4. [h] Joel 3. 18. Pen. 2. 4. a 11. 15.

6 Gan hynny wedi eu dyfod hwy yng-
hŷd, hwy a ofynasant iddo, gan ddywedyd,
i Arglwydd, ai 'r pryd hwn y rhoddi dra-
chefn y frenhiniaeth i Israel?
7 Ac efe a ddywedodd wrthynt, k Ni
pherthyn i chwi wybod yr amseroedd na 'r
prydiau, y rhai a osododd y Tad yn ei fedd-
iant ei hun.
8 l Eithr chwi a dderbyniwch nerth † yr
Yspryd Glân wedi y delo efe arnoch; ac
m a fyddwch dystion i mi yn Jerusalem,
ac yn holl Judea, a Samaria, ac hyd eithaf
y ddaear.
9 n Ac wedi iddo ddywedyd y pethau
hyn, a hwynt-hwy yn edrych, efe a ddyr-
chafwyd i fynu; a chwmmwl a'i derbyniodd
ef allan o'u golwg hwynt.
10 Ac fel yr oeddynt yn edrych yn ddy-
fal tu a'r nef, ac efe yn myned i fynu, wele,
dau wr a safodd ger llaw iddynt mewn
o gwisg wen;
11 Y rhai hefyd a ddywedasant, Chwi
wŷr o Galilea, paham y sefwch yn edrych
tu a'r nef? yr Iesu hwn yr hwn a gymmer-
wyd i fynu oddi wrthych i 'r nef, p a ddaw
felly yn yr un modd ag y gwelsoch ef yn
myned i 'r nef.
12 Yna y troisant i Jerusalem, o'r my-
nydd a elwir Olewŷdd, yr hwn sydd yn agos
i Jerusalem, *sef* taith *diwrnod* sabbath.
13 Ac wedi eu dyfod i mewn, hwy a
aethant i fynu i oruch-ystafell, lle yr oedd
q Petr, ac Iago, ac Ioan, ac Andreas, Phylip,
a Thomas, Bartholomew, a Matthew, Iago
*mab* Alphëus, a Simon Zelotes, a r Judas
*brawd* Iago, yn aros.
14 s Y rhai hyn oll oedd yn parhâu yn
gyttûn mewn gweddi ac ymbil, gyd â'r
gwragedd, a Mair mam yr Iesu, a t chŷd
â'i frodyr ef.
15 ¶ Ac yn y dyddiau hynny Petr a
gyfododd i fynu ynghanol y disgyblion, ac
a ddywedodd (a nifer yr enwau yn yr un
man oedd ynghylch ugain a chant)
16 *Ha* wŷr frodyr, yr oedd yn rhaid
cyflawni yr ysgrythyr yma u a rag-ddy-
wedodd yr Yspryd Glân trwy enau Dafydd
am Judas, x yr hwn a fu flaenor i 'r rhai a
ddaliasant yr Iesu:
17 Canys y efe a gyfrifwyd gyd â ni, ac a
gawsai ran o'r weinidogaeth hon.
18 z A hwn a bwrcasodd faes â gwobr
anwiredd; ac wedi ymgrogi, a dorrodd yn
ei ganol, a'i holl ymysgaroedd ef a dy-
walltwyd allan.
19 A bu hyspys hyn i holl breswylwŷr
Jerusalem, hyd oni elwir y maes hwnnw yn
eu tafod priodol hwy, Aceldama, hynny yw,
Maes y gwaed.
20 Canys ysgrifenwyd yn llyfr y Psalmau,
a Bydded ei drigfan ef yn ddiffaethwch, ac
na bydded a drigo ynddi: b a chymmered
arall ei ‡ esgobaeth ef.
21 Am hynny mae yn rhaid, o'r gwŷr a
fu yn cyd-ymdaith â ni yr holl amser yr aeth
yr Arglwydd Iesu i mewn ac allan yn ein
plith ni,
22 Gan ddechreu o fedydd Ioan hyd y
dydd c y cymmerwyd ef i fynu oddi wrth-
ym ni, bod un o'r rhai hyn gyd â ni d yn
dyst o'i adgyfodiad ef.
23 A hwy a osodasant ddau ger bron, Jo-
seph yr hwn a enwid Barsabas, ac a gyfenwid
Justus, a Matthïas.
24 A chan weddïo, hwy a ddywedasant,
Tydi, Arglwydd, e yr hwn a wyddost
galonnau pawb, dangos pa un o'r ddau hyn
a etholaist,
25 I dderbyn rhan o'r weinidogaeth hon,
a'r apostoliaeth, o'r hon y cyfeiliornodd
Judas, i fyned i'w le ei hun.
26 A hwy a fwriasant eu coel-brennau
hwynt: ac ar Matthïas y syrthiodd y coel-
bren; ac efe a gyfrifwyd gyd â'r un apostol
ar ddeg.

i Mat. 24. 3. k Mat. 24. 36. Marc 13. 32. l Pen. 2. 1, 4. † Neu, *pan ddêl yr Yspryd Glân arnoch.* m Luc 24. 48. Ioan 15. 27. Pen. 2. 32. Adn. 22. n Luc 24. 51. o Mat. 28. 3. Pen. 10. 3, 30. p Dan. 7. 13. Mat. 24. 30. Marc 13. 26. Luc 21. 27. Ioan 14. 3. 1 Thess. 1. 10. 2 Thess. 1. 10. Dat. 1. 7. q Mat. 10. 3. r Judas 1. s Pen. 2. 1, 46. t Mat. 13. 55. u Psal. 41. 9. x Ioan 13. 18. a 18. 3. y Luc 6. 16. z Mat. 27. 5, 7, 8. a Psal. 69. 25. b Psal. 109. 8. ‡ *Swydd.* c Adn. 9. Ioan 15. 27. Adn. 8. d Pen. 4. 33. e 1 Sam. 16. 7. 1 Chron. 28. 9. a 29. 17. Jer. 11. 20. a 17. 10. Pen. 15. 8. Dat. 2. 23.

## PEN. II.

1 *Yr apostolion, wedi eu llenwi â'r Yspryd Glân, yn llefaru ag amryw dafodau; a rhai yn rhyfeddu o'u plegid; ac eraill yn eu gwatwar: 14 a Phetr yn eu hargyhoeddi hwy; ac yn dangos fod yr apostolion yn llefaru trwy nerth yr Yspryd Glân; a bod yr Iesu wedi cyfodi oddi wrth y meirw, a dyrchafu i 'r nefoedd: a thywallt o hono yr Yspryd Glân; ac mai efe oedd y Messïas; gwr a wyddent hwy ei fod yn brofedig gan Dduw, trwy ei wyrthiau, a'i ryfeddodau, a'i arwyddion; a chwedi ei groes-hoelio, nid heb ei derfynedig gyngor, a'i rag-wybodaeth ef. 37 Petr yn bedyddio llawer o'r rhai a droisid: 41 y rhai wedi hynny sydd yn cyttal yn dduwiol ac yn gariadus. Yr apostolion yn gwneuthur gwyrthiau lawer; a Duw beunydd yn ychwanegu ei eglwys.*

AC wedi dyfod a dydd y Pentecost, b yr 33.
oeddynt hwy oll yn gyttûn yn yr un
lle.
2 Ac yn ddisymmwth y daeth swn o'r
nef, megis gwŷnt nerthol yn rhuthro, ac c a
lanwodd yr holl dŷ lle yr oeddynt yn eistedd.
3 Ac ymddangosodd iddynt dafodau gwa-
hanedig megis o dân, ac efe a eisteddodd ar
bob un o honynt.
4 A d hwy oll a lânwyd â'r Yspryd Glân,
ac a ddechreuasant e lefaru â thafodau eraill,
megis y rhoddes yr Yspryd iddynt ymadrodd.
5 Ac yr oedd yn trigo yn Jerusalem,
Iuddewon, gwŷr bucheddol o bob cenedl
dan y nef.
6 Ac wedi myned y gair o hyn, daeth y
llïaws ynghŷd, ac a drallodwyd, o herwydd
bod pob un yn eu clywed hwy yn llefaru yn
ei iaith ei hun.
7 Synnodd hefyd ar bawb, a rhyfeddu a
wnaethant, gan ddywedyd wrth eu gilydd,
Wele, onid Galileaid yw y rhai hyn oll sy
yn llefaru?
8 A pha fodd yr ydym ni yn eu clywed
hwynt bob un yn ein hiaith ein hun yn yr
hon y'n ganed ni?
9 Parthiaid, a Mediaid, ac Elamitiaid, a
thrigolion Mesopotamia, a Judea, a Chap-
padocia, Pontus, ac Asia,
10 Phrygia, a Phamphylia, yr Aipht, a
pharthau Libya, yr hon sydd ger llaw Cy-
rene, a dïeithriaid o Rufeinwŷr, Iuddewon
a phroselytiaid,
11 Cretiaid, ac Arabiaid, yr ydym ni yn
eu clywed hwynt yn llefaru yn ein hiaith ni
fawrion weithredoedd Duw.
12 A synnasant oll, ac a amheuasant, gan
ddywedyd y naill wrth y llall, Beth a all hyn
fod?
13 Ac eraill, gan watwar, a ddywedasant,
Llawn o win melus ydynt.
14 ¶ Eithr Petr, yn sefyll gyd â'r un ar
ddeg, a gyfododd ei leferydd, ac a ddywed-
odd wrthynt, O wŷr o Iuddewon, a chwi oll
sydd yn trigo yn Jerusalem, bydded hyspy-
sol hyn i chwi, a chlust-ymwrandêwch â'm
geiriau:

a Lef. 23. 15. Deut. 16. 9. b Pen. 1. 14. c Pen. 4. 31. d Pen. 1. 5. e Marc 16. 17. Pen. 10. 46. 1 Cor. 12. 10, 28, 30. a 13. 1. a 14. 2, &c.

15 Canys nid yw y rhai hyn yn feddwon,
fel yr ydych chwi yn tybied; oblegid y dry-
dedd awr o'r dydd yw hi.
16 Eithr hyn yw y peth a ddywedwyd
trwy y prophwyd Joël,
17 [f] A bydd yn y dyddiau diweddaf
(medd Duw) [g] y tywalltaf o'm Hyspryd ar
bob cnawd: a'ch meibion chwi [h] a'ch
merched a brophwydant, a'ch gwŷr ieu-
aingc a welant weledigaethau, a'ch hynaf-
gwŷr a freuddwydiant freuddwydion:
18 Ac ar fy ngweision ac ar fy llaw-for-
wynion y tywalltaf o'm Hyspryd yn y dydd-
iau hynny; a hwy a brophwydant:
19 A mi a roddaf ryfeddodau yn y nef
uchod, ac arwyddion yn y ddaear isod;
gwaed, a thân, a tharth mwg.
20 † Yr haul a droir yn dywyllwch, a'r
lloer yn waed, cyn i ddydd mawr ac eglur
yr Arglwydd ddyfod.
21 A bydd, [i] pwy bynnag a alwo ar enw
yr Arglwydd, a fydd cadwedig.
22 *Ha* wŷr Israel, clywch y geiriau hyn:
Iesu o Nazareth, gwr profedig gan Dduw
yn eich plith chwi, trwy nerthoedd a rhy-
feddodau ac arwyddion, y rhai a wnaeth
Duw trwyddo ef yn eich canol chwi, megis
ag y gwyddoch chwithau:
23 Hwn, [k] wedi ei roddi trwy derfynedig
gynghor a rhag-wybodaeth Duw, [l] a gym-
merasoch chwi, a thrwy ddwylaw anwir a
groes-hoeliasoch, ac a laddasoch:
24 [m] Yr hwn a gyfododd Duw, gan rydd-
hâu gofidiau angau: canys nid oedd bosibl
ei attal ef ganddo.
25 Canys Dafydd sydd yn dywedyd am
dano, [n] Rhag-welais yr Arglwydd ger fy
mron yn wastad; canys ar fy neheu-law y
mae, fel na'm hysgoger.
26 Am hynny y llawenychodd fy nghalon,
ac y gorfoleddodd fy nhafod; ie, a'm cnawd
hefyd a orphwys mewn gobaith:
27 Am na adewi fy enaid yn uffern, ac na
oddefi i'th Sanct weled llygredigaeth.
28 Gwnaethost yn hyspys i mi ffyrdd y
bywyd: ti a'm cyflawni o lawenydd â'th
wynebpryd.
29 *Ha* wŷr frodyr, ‡ y mae yn rhŷdd i mi
ddywedyd yn hŷ wrthych [o] am y patriarch
Dafydd, ei farw ef a'i gladdu, ac y mae ei
feddrod ef gyd â ni hyd y dydd hwn.
30 Am hynny, ac efe yn brophwyd, [p] yn
gwybod dyngu o Dduw iddo trwy lw, Mai
o ffrwyth ei lwynau ef o ran y cnawd, y
cyfodai efe Grist i eistedd ar ei orseddfa ef:
31 Ac efe yn rhag-weled, a lefarodd am
adgyfodiad Crist, [q] na adawyd ei enaid ef
yn uffern, ac na's gwelodd ei gnawd ef ly-
gredigaeth.
32 [r] Yr Iesu hwn a gyfododd Duw i fynu;
[s] o'r hyn yr ydym ni oll yn dystion.
33 Am hynny, [t] wedi eu ddyrchafu ef
trwy ddeheu-law Duw, ac [u] iddo dderbyn gan
y Tad yr addewid o'r Yspryd Glân, efe [x] a
dywalltodd y peth yma yr ydych chwi yr
awrhon yn ei weled ac yn ei glywed.
34 Oblegid ni ddyrchafodd Dafydd i'r
nefoedd: ond y mae efe yn dywedyd ei
hun, [y] Yr ARGLWYDD a ddywedodd wrth
fy Arglwydd, Eistedd ar fy neheu-law,
35 Hyd oni osodwyf dy elynion yn droed-
faingc i'th draed.
36 Am hynny gwybydded holl dŷ Israel
yn ddïogel, ddarfod i Dduw wneuthur yn
Arglwydd ac yn Grist, yr Iesu hwn a groes-
hoeliasoch chwi.

[f] Esay 44. 3. Ezec. 11. 19. a 36. 27. Joel 2. 28, 29, &c. Zech. 12. 10. Ioan 7. 38.
[g] Pen. 10. 45.
[h] Pen. 21. 9.
† Joel 2. 31. Mat. 24. 29. Marc 13. 24. Dat. 6. 12.
[i] Rhuf. 10. 13.
[k] Pen. 4. 28.
[l] Pen. 5. 30.
[m] Adn. 32. Pen. 3. 15. a 4. 10. a 10. 40. a 13. 30, 34. a 17. 31. Rhuf. 4. 24. a 8. 11. 1 Cor. 6. 14. a 15. 15. Gal. 1. 1. Eph. 1. 20. Col. 2. 12. 1 Thes. 1. 10. Heb. 13. 20. 1 Petr 1. 21.
[n] Psal. 16. 8.
‡ *gadewch i mi*, &c.
[o] 1 Bren. 2. 10. Pen. 13. 36.
[p] Psal. 132. 11. Luc 1. 32. Rhuf. 1. 3. 2 Tim. 2. 8.
[q] Psal. 16. 10.
[r] Pen. 3. 15.
[s] Pen. 1. 8.
[t] Pen. 5. 31. Phil. 2. 9.
[u] Ioan 14. 26. a 15. 26. Pen. 1. 4.
[x] Pen. 10. 45.
[y] Psal. 110. 1. Mat. 22. 44. 1 Cor. 15. 25. Eph. 1. 20. Heb. 1. 13.

37 ¶ Hwythau wedi clywed *hyn*, [z] a
ddwys-bigwyd yn eu calon, ac a ddywed-
asant wrth Petr, a'r apostolion eraill, *Ha*
wŷr frodyr, beth a wnawn ni?
38 A Phetr a ddywedodd wrthynt, [a] Edi-
farhêwch, a bedyddier pob un o honoch yn
enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau;
a chwi a dderbyniwch ddawn yr Yspryd
Glân.
39 Canys i chwi y mae yr addewid, ac
[b] i'ch plant, ac [c] i bawb ym mhell, cynnifer
ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni atto.
40 Ac â llawer o ymadroddion eraill y
tystiolaethodd ac y cynghorodd efe, gan
ddywedyd, Ymgedwch rhag y genhedlaeth
drofaus hon.
41 ¶ Yna y rhai a dderbyniasant ei air ef
yn ewyllysgar a fedyddiwyd: a 'chwaneg-
wyd *attynt* y dwthwn hwnnw ynghylch tair
mil o eneidiau.
42 Ac yr oeddynt yn parhâu yn athraw-
iaeth ac ynghymdeithas yr apostolion, ac
[d] yn torri bara, ac mewn gweddiau.
43 Ac ofn a ddaeth ar bob enaid: a
[e] llawer o ryfeddodau ac arwyddion a
wnaethpwyd gan yr apostolion.
44 A'r rhai a gredent oll oeddynt yn yr
un man, a [f] phob peth ganddynt yn gy-
ffredin;
45 A *hwy* a werthasant eu meddiannau
a'u dâ, ac [g] a'u rhannasant i bawb, fel yr
oedd yr eisiau ar neb.
46 A hwy beunydd yn parhâu yn gyttûn
yn y deml, ac [h] yn torri bara § o dŷ i dŷ, a
gymmerasant eu lluniaeth mewn llawenydd
a symledd calon;
47 Gan foli Duw, a [i] chael ffafr gan yr
holl bobl. [k] A'r Arglwydd a 'chwanegodd
beunydd at yr eglwys y rhai fyddent gadw-
edig.

## PEN. III.

1 *Petr, wrth bregethu i'r bobl a ddaethai i
weled y cloff a roisid ar ei draed, 12 yn pro-
ffesu nad trwy ei rym a'i dduwioldeb ef, neu
Ioan, y gwnaethid ef yn iach; ond trwy
Dduw, a'i Fab Iesu, a thrwy ffydd yn ei
enw ef: 13 gan eu ceryddu hwy hefyd am
groes-hoelio'r Iesu; 17 yr hwn beth gan
iddynt ei wneuthur mewn anwybod, ac wrth
hynny gyflawni terfynedig gynghor Duw,
a'r ysgrythyrau, 19 y mae efe yn eu hannog
hwy, trwy edifeirwch a ffydd, i geisio mad-
deuant o'u pechodau, a iachawdwriaeth yn
yr unrhyw Iesu.*

PETR hefyd ac Ioan a aethant i fynu i'r
deml ynghŷd, ar yr awr weddi, [a] *sef*
y nawfed.
2 A [b] rhyw wr cloff o groth ei fam a ddy-
gid, yr hwn a ddodent beunydd wrth borth
y deml yr hwn a elwid Prydferth, [c] i ofyn
elusen gan y rhai a elai i mewn i'r deml.
3 Yr hwn, pan welodd efe Petr ac Ioan
ar fedr myned i mewn i'r deml, a ddeisyf-
iodd gael elusen.
4 A Phetr yn dal sulw arno, gyd ag Ioan,
a ddywedodd, Edrych arnom ni.
5 Ac efe a ddaliodd sulw arnynt, gan
obeithio cael rhyw beth ganddynt.
6 Yna y dywedodd Petr, Arian ac aur
nid oes gennyf; eithr yr hyn sydd gennyf,
*hynny* yr wyf yn ei roddi i ti: [d] Yn enw
Iesu Grist o Nazareth, cyfod a rhodia.
7 A chan ei gymmeryd ef erbyn ei dde-
heu-law, efe a'i cyfododd *ef* i fynu; ac yn
ebrwydd ei draed ef a'i fferau a gadarn-
hawyd.

[z] Zech. 12. 10. Luc 3. 10. Pen. 9. 6. a 16. 30.
[a] Pen. 3. 19.
[b] Joel 2. 28.
[c] Eph. 2. 13.
[d] Pen. 1. 14. Adn. 46.
[e] Marc 16. 17. Pen. 5. 12.
[f] Pen. 4. 32, 34.
[g] Esay 58. 7.
[h] Pen. 20. 7.
§ *cartref.*
[i] Luc 2. 52. Pen. 4. 33. Rhuf. 14. 18.
[k] Pen. 5. 14.
33.
[a] Psal. 55. 17.
[b] Pen. 14. 8.
[c] Ioan 9. 8.
[d] Pen. 4. 10.

8 A chan neidio i fynu, efe a safodd ac a
rodiodd, ac a aeth gyd â hwynt i'r deml,
dan rodio, a neidio, a moli Duw.
9 A'r holl bobl a'i gwelodd ef yn rhodio,
ac yn moli Duw.
10 Ac yr oeddynt hwy yn ei adnabod,
mai hwn oedd yr un a eisteddai am elusen
wrth borth Prydferth y deml: a hwy a lânwyd
o fraw a synnedigaeth am y peth a
ddigwyddasai iddo.
11 Ac fel yr oedd y cloff a iachasid yn
attal Petr ac Ioan, yr holl bobl yn fraw-
e Ioan 10. ychus a gyd-redodd attynt i'r porth e a elwir
23. *Porth* Salomon.
Pen. 5. 12. 12 ¶ A phan welodd Petr, efe a attebodd
i'r bobl, *Ha* wŷr Israeliaid, beth a wnewch
chwi yn rhyfeddu am hyn? neu beth a
wnewch chwi yn dal sulw arnom ni, fel pe
trwy ein nerth ein hun neu *ein* duwioldeb y
gwnaethem i hwn rodio?
† Pen. 5. 30. 13 † Duw Abraham, ac Isaac, a Jacob,
f Ioan 17. Duw ein tadau ni, f a ogoneddodd ei Fab
1. Iesu, yr hwn a draddodasoch chwi, ac g a'i
g Mat. 27. gwadasoch ger bron Pilat, pan farnodd efe
20. *ef* i'w ollwng yn rhydd.
Marc 15. 14 Eithr chwi a wadasoch y Sanct a'r
11. Cyfiawn, ac a ddeisyfiasoch roddi i chwi wr
Luc 23. 18. llofruddiog;
Ioan 18. 40. 15 A ‡ Thywysog y bywyd a laddasoch,
a 19. 15. h yr hwn a gododd Duw o feirw; i o'r hyn
Heb. 2. 10. yr ydym ni yn dystion.
‡ *Gwneu-thurwr.* 16 A'i enw ef, trwy ffydd yn ei enw ef, a
h Pen. 4. nerthodd y dyn yma, a welwch ac a adwae-
10. noch chwi: a'r ffydd yr hon sydd trwyddo
i Pen. 2. ef, a roes iddo ef yr holl iechyd hwn yn
32. eich gŵydd chwi oll.
17 Ac yn awr, frodyr, mi a wn mai
k Luc 23. k trwy anwybod y gwnaethoch, megis y
34. *gwnaeth* eich pendefigion chwi hefyd.
Pen. 13. 27. 18 Eithr l y pethau a rhag-fynegodd Duw
1 Cor. 2. 8. m trwy enau ei holl brophwydi, y dïoddefai
1 Tim. 1. Crist, a gyflawnodd efe fel hyn.
13. 19 ¶ n Edifarhêwch gan hynny, a dy-
l Luc 24. chwelwch, fel y dileer eich pechodau, pan
44. ddelo yr amseroedd i orphwys o olwg yr Ar-
m Esay 50. glwydd;
6. a 53. 5, 20 Ac yr anfono efe Iesu Grist, yr hwn a
&c. bregethwyd o'r blaen i chwi:
n Pen. 2. 21 Yr hwn sydd raid i'r nef ei dderbyn,
38. hyd amseroedd adferiad pob peth, y rhai a
ddywedodd Duw trwy enau ei holl sanct-
aidd brophwydi, erioed.
22 Canys Moses a ddywedodd wrth y
o Deut. 18. tadau, o Yr Arglwydd eich Duw a gyfyd i
15, 18, 19. chwi Brophwyd o'ch brodyr, megis myfi:
Pen. 7. 37. arno ef y gwrandêwch § ym mhob peth a
§ *yn ol pob peth.* ddywetto wrthych.
23 A bydd, pob enaid ni wrandawo ar y
Prophwyd hwnnw, a lwyr-ddifethir o blith
y bobl.
24 A'r holl brophwydi hefyd o Samuel, ac
o'r rhai wedi, cynnifer ag a lefarasant, a
rag-fynegasant hefyd am y dyddiau hyn.
25 Chwychwi ydych blant y prophwydi,
a'r cyfammod yr hwn a wnaeth Duw â'n ta-
p Gen. 12. dau ni, gan ddywedyd wrth Abraham, p Ac
3. a 18. 18. yn dy had di y bendithir holl dylwythau y
a 22. 18. a ddaear.
26. 4. 26 q Duw gwedi cyfodi ei Fab Iesu, a'i
q Pen. 13. hanfonodd ef i chwi yn gyntaf, gan eich ben-
46. dithio chwi, r trwy droi pob un o honoch
r Adn. 22. ymaith oddi wrth eich drygioni.

## PEN. IV.

1 *Llywodraethwŷr yr Iuddewon yn anfoddlon
i bregeth Petr (4 er troi miloedd i'r ffydd
o'r bobl a glywsent y gair) ac yn ei garcha-
ru ef, ac Ioan: 5 wedi hynny Petr, wrth ei
holi, yn dywedyd yn hyderus, mai trwy
enw'r Iesu yr iachasid y cloff; ac mai trwy
Iesu yn unig y bydd raid i ninnau gael
iachawdwriaeth dragywyddol: 13 hwythau
yn gorchymyn iddo ef, ac i Ioan, na phre-
gethent mwyach yn yr enw hwnnw; ac yn
eu bygwth hwy: 23 yr eglwys ar hynny yn
ymrôi i weddïo; 31 a Duw, trwy gynhyrfu
y lle'r oeddynt wedi ymgynnull ynddo, yn
tystiolaethu glywed o hono ef eu gweddi
hwynt: ac yn cadarnhâu'r eglwys, trwy
roddi yr Yspryd Glân, a chariad perffaith
tu ag at eu gilydd.*

AC fel yr oeddynt yn llefaru wrth y bobl, 33.
yr offeiriaid, † a blaenor y deml, a'r † *a chapten,*
Saduceaid, a ddaethant arnynt hwy; Luc 22. 4.
2 Yn flin ganddynt am eu bod hwy yn Pen. 5. 24.
dysgu y bobl, ac yn pregethu trwy'r Iesu yr
adgyfodiad o feirw.
3 A hwy a osodasant ddwylaw arnynt
hwy, ac a'u dodasant mewn dalfa hyd
drannoeth: canys yr oedd hi yn awr yn
hwyr.
4 Eithr llawer o'r rhai a glywsant y gair,
a gredasant: a rhifedi y gwŷr a wnaed yn-
ghylch pum mil.
5 ¶ A digwyddodd drannoeth ddarfod
i'w llywodraethwŷr hwy, a'r henuriaid, a'r
ysgrifenyddion, ymgynnull i Jerusalem,
6 Ac a Annas yr arch-offeiriad, a Chaia- a Luc 3. 2.
phas, ac Ioan, ac Alexander, a chymmaint Ioan 11. 49.
ag oedd o genedl yr arch-offeiriad.
7 Ac wedi iddynt eu gosod hwy yn y ca-
nol, hwy a ofynasant, b Trwy ba awdurdod, b Exod. 2. 14.
neu ym mha enw y gwnaethoch chwi Mat. 21. 23.
hyn? Pen. 7. 27.
8 Yna Petr, yn gyflawn o'r Yspryd Glân,
a ddywedodd wrthynt, *Chwychwi* bennae-
thiaid y bobl, a henuriaid Israel,
9 Od ydys yn ein holi ni heddyw am y
weithred dda i'r dyn claf, *sef* pa wedd y
iachawyd ef;
10 Bydded hyspys i chwi oll, ac i bawb
o bobl Israel, mai trwy enw Iesu Grist o
Nazareth, yr hwn a groes-hoeliasoch chwi,
c yr hwn a gyfododd Duw o feirw, trwy c Pen. 10. 40.
hwnnw y mae hwn yn sefyll yn iach ger
eich bron chwi.
11 d Hwn yw'r maen a lyswyd gennych d Psal. 118. 22.
chwi yr adeiladwŷr, yr hwn a wnaed yn ben Mat. 21. 42.
i'r gongl.
12 e Ac nid oes iachawdwriaeth yn neb e Mat. 1. 21.
arall: canys nid oes enw arall dan y nef, we- Pen. 10. 43.
di ei roddi ym mhlith dynion, trwy yr hwn 1 Tim. 2. 5, 6.
y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig.
13 ¶ A phan welsant hyfder Petr ac Ioan,
a deall mai gwŷr anllythyrennog ac annys-
gedig oeddynt, hwy a ryfeddasant; a hwy
a'u hadwaenent, eu bod hwy gyd â'r Iesu.
14 Ac wrth weled y dyn a iachasid yn
sefyll gyd â hwynt, nid oedd ganddynt ddim
i'w ddywedyd yn erbyn hynny.
15 Eithr wedi gorchymyn iddynt fyned
allan o'r gynghorfa, hwy a ymgyngorasant
â'u gilydd,
16 Gan ddywedyd, f Beth a wnawn ni i'r f Ioan 11.
dynion hyn? canys yn ddïau arwydd hynod 47.
a wnaed trwyddynt hwy, hyspys i bawb a'r
sydd yn preswylio yn Jerusalem, ac ni's
gallwn ni ei wadu.
17 Eithr fel na's taner ym mhellach ym
mhlith y bobl, gan fygwth bygythiwn hwy,
na lefaront mwyach wrth un dyn yn yr enw
hwn.

18 A hwy a'u galwasant hwynt, ac a orchymynasant iddynt nad ynganent ddim, ac na ddysgent yn enw 'r Iesu.

19 Eithr Petr ac Ioan a attebasant iddynt, ac a ddywedasant, [g] Ai cyfiawn yw ger bron Duw, wrando arnoch chwi yn hytrach nag ar Dduw, bernwch chwi.

[g] Pen. 5. 29.

20 Canys ni allwn ni na ddywedom y pethau a welsom ac a glywsom.

21 Eithr wedi eu bygwth ym mhellach, hwy a'u gollyngasant hwy yn rhyddion, heb gael dim i'w cospi hwynt, [h] oblegid y bobl: canys yr oedd pawb yn gogoneddu Duw am [i] yr hyn a wnaethid.

[h] Mat. 21. 26. Luc 20. 6, 19. a 22. 2. Pen. 5. 26.

22 Canys yr oedd y dyn uwch-law deugain oed, ar yr hwn y gwnaethid yr arwydd hwn o iechydwriaeth.

[i] Pen. 3. 7, 8.

23 ¶ A hwythau, wedi eu gollwng ymaith, [k] a ddaethant at yr eiddynt, ac a ddangosasant yr holl bethau a ddywedasai'r arch-offeiriaid a'r henuriaid wrthynt.

[k] Pen. 12. 12.

24 Hwythau pan glywsant, o un fryd a gyfodasant eu llef at Dduw, ac a ddywedasant, O Arglwydd, tydi *yw y* Duw yr hwn a wnaethost y nef a'r ddaear, a'r môr, ac oll sydd ynddynt;

25 Yr hwn trwy'r Yspryd Glân, yngenau dy was Dafydd, a ddywedaist, [l] Paham y terfysgodd y cenhedloedd, ac y bwriadodd y bobloedd bethau ofer?

[l] Psal. 2. 1.

26 Brenhinoedd y ddaear a safasant i fynu, a'r llywodraethwŷr a ymgasglasant ynghŷd, yn erbyn yr Arglwydd, ac yn erbyn ei Grist ef.

27 Canys [m] mewn gwirionedd, yn y ddinas hon yr ymgynhullodd yn erbyn dy Sanct Fab Iesu, yr hwn a enneiniaist ti, Herod a Phontius Pilat, gyd â'r cenhedloedd, a phobl Israel,

[m] Mat. 26. 3. Luc 23. 1, 8.

28 [n] I wneuthur pa bethau bynnag a ragluniodd dy law a'th gynghor di eu gwneuthur.

[n] Pen. 2. 23.

29 Ac yn awr, Arglwydd, edrych ar eu bygythion hwy, a chaniattâ i'th weision draethu dy air di gyd â phob hyfder;

30 Trwy estyn o honot dy law i iachâu, ac fel y gwneler arwyddion a rhyfeddodau trwy enw dy sanctaidd Fab Iesu.

31 ¶ Ac wedi iddynt weddïo, [o] siglwyd y lle yr oeddynt wedi ymgynnull ynddo; a hwy a lânwyd oll o'r Yspryd Glân, a hwy a lefarasant air Duw yn hyderus.

[o] Pen. 2. 2, 4. a 16. 26.

32 A lliaws y rhai a gredasent [p] oedd o un galon, ac un enaid; [q] ac ni ddywedodd neb *o honynt*, fod dim a'r a feddai yn eiddo ei hunan, eithr yr oedd ganddynt bob peth yn gyffredin.

[p] Petr 3. 8. [q] Pen. 2. 44.

33 A'r apostolion trwy nerth mawr a roddasant [r] dystiolaeth o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu: a [s] gras mawr oedd arnynt hwy oll.

[r] Pen. 1. 22. [s] Pen. 2. 47.

34 Canys nid oedd un anghenus yn eu plith hwy: oblegid cynnifer ag oedd berchen tiroedd neu dai, a'u gwerthasant, ac a ddygasant werth y pethau a werthasid,

35 [t] Ac a'u gosodasant wrth draed yr apostolion: a rhanwyd i bob un megis yr oedd yr angen arno.

[t] Adn. 37.

36 A † Joseph, yr hwn a gyfenwid Barnabas gan yr apostolion (yr hyn o'i gyfieithu yw, Mab diddanwch) yn Lefiad, *ac* yn Cypriad o genedl,

† *Joses.*

37 A thir ganddo, a'i gwerthodd, ac a ddug yr arian, [u] ac a'i gosododd wrth draed yr apostolion.

[u] Pen. 5. 2.

## PEN. V.

1 *Wedi i Ananïas a Sapphira ei wraig, am eu rhagrith, gwympo i lawr yn feirw wrth gerydd Petr,* 12 *ac i'r apostolion eraill wneuthur llawer o wyrthiau,* 14 *er cynnydd i'r ffydd,* 17 *y mae'r apostolion yn cael eu carcharu eilwaith;* 19 *ac er hynny yn cael eu gwaredu gan angel, yr hwn sydd yn erchi iddynt bregethu i bawb ar gyhoedd:* 21 *hwythau, wedi iddynt bregethu felly yn y deml,* 29 *a cher bron y cynghor,* 33 *mewn perygl o gael eu lladd; eithr trwy gynghor Gamaliel, cynghorwr mawr ym mhlith yr Iuddewon, yn cael eu cadw yn fyw,* 40 *ac yn unig eu curo: a hwythau yn gogoneddu Duw am hynny, ac heb beidio â phregethu.*

EITHR rhyw wr, a'i enw Ananïas, gyd â Sapphira ei wraig, a werthodd † dir, 33.

† *feddiant.*

2 Ac a ddarn-guddiodd *beth* o'r gwerth, a'i wraig hefyd ‡ o'r gyfrinach, ac a ddug ryw gyfran, ac a'i gosododd wrth draed yr apostolion.

‡ *yn gwybod.*

3 Eithr Petr a ddywedodd, Ananïas, paham y llanwodd Satan dy galon di i ddywedyd celwydd wrth yr Yspryd Glân, ac i ddarn-guddio *peth* o werth y tir?

4 Tra'r ydoedd yn aros, onid i ti yr oedd yn aros? ac wedi ei werthu, onid oedd yn dy feddiant ti? paham y gosodaist y peth hwn yn dy galon? ni ddywedaist ti gelwydd wrth ddynion, ond wrth Dduw.

5 Ac Ananïas, pan glybu y geiriau hyn, a syrthiodd i lawr, ac a drengodd. A daeth ofn mawr ar bawb a glybu'r pethau hyn.

6 A'r gwŷr ieuaingc a gyfodasant, ac a'i § cymmerasant ef, ac a'i dygasant allan, ac a'i claddasant.

§ *hamdoisant.*

7 A bu megis yspaid tair awr, a'i wraig ef, heb wybod y peth a wnaethid, a ddaeth i mewn.

8 A Phetr a attebodd iddi, Dywaid di i mi, Ai er cymmaint y gwerthasoch chwi y tir? Hithau a ddywedodd, Ië, er cymmaint.

9 A Phetr a ddywedodd wrthi, Paham y cyttunasoch i demtio Yspryd yr Arglwydd? wele draed y rhai a gladdasant dy wr di wrth y drws, a hwy a'th ddygant dithau allan.

10 Ac yn y man hi a syrthiodd wrth ei draed ef, ac a drengodd: a'r gwŷr ieuaingc wedi dyfod i mewn, a'i cawsant hi yn farw; ac wedi iddynt *ei* dwyn *hi* allan, hwy a'i claddasant *hi* yn ymyl ei gwr.

11 A bu ofn mawr ar yr holl eglwys, ac ar bawb oll a glybu y pethau hyn.

12 ¶ A [a] thrwy ddwylaw yr apostolion y gwnaed arwyddion a rhyfeddodau lawer ym mhlith y bobl (ac yr oeddynt oll yn gyttûn ym mhorth [b] Salomon.

[a] Pen. 2. [b] Pen. 3. 11.

13 Eithr [c] ni feiddiai neb o'r lleill ymgyssylltu â hwynt: ond y bobl oedd yn eu mawrhâu.

[c] Ioan 9. 22. a 12. 42. 19. 38.

14 A 'chwanegwyd attynt rai yn credu yn yr Arglwydd, lliaws o wŷr a gwragedd hefyd)

15 Hyd oni ddygent y rhai cleifion allan ‖ ar hŷd yr heolydd, a'u gosod ar welyau a glythau, fel [d] o'r hyn lleiaf y cysgodai cysgod Petr, pan ddelai heibio, rai o honynt.

‖ *ym mhheol.* [d] Mat. 9. 21. a 14. Pen. 19.

16 A lliaws a ddaeth hefyd ynghŷd o'r dinasoedd o amgylch Jerusalem, gan ddwyn rhai cleifion, a [e] rhai a drallodid gan ysprydion aflan; y rhai a iachawyd oll.

[e] Marc 16. 17, 18.

17 ¶ A'r arch-offeiriad a gyfododd, a'r
holl rai oedd gyd ag ef (yr hon yw heresi y
† *lid.* Saduceaid) ac a lânwyd o † gynfigen,
18 Ac a ddodasant eu dwylaw ar yr apos-
tolion, ac a'u rhoisant yn y carchar cyffre-
din.
f Pen. 12. 19 Eithr [f] angel yr Arglwydd o hŷd nos a
7. a 16. 25. agorodd ddrysau 'r carchar, ac a'u dug hwynt
allan, ac a ddywedodd,
20 Ewch, sefwch a lleferwch yn y deml
wrth y bobl holl eiriau 'r fuchedd hon.
21 A phan glywsant, hwy a aethant yn
fore i'r deml, ac a athrawiaethasant. Eithr
daeth yr arch-offeiriad, a'r rhai oedd gyd ag
ef, ac a alwasant ynghŷd y cynghor, a holl
henuriaid plant yr Israel, ac a ddanfonasant
i'r carchar i'w dwyn hwy *ger bron.*
22 A'r swyddogion, pan ddaethant, ni
chawsant hwynt yn y carchar; eithr hwy a
ddychwelasant, ac a fynegasant,
23 Gan ddywedyd, Yn wir ni a gawsom
y carchar wedi ei gau o'r fath sicraf, a'r
ceidwaid yn sefyll allan o flaen y drysau;
eithr pan agorasom, ni chawsom neb i mewn.
24 A phan glybu 'r arch-offeiriad, a
‡ *chapten.* ‡ § blaenor y deml, a'r offeiriaid pennaf, yr
§ Luc 22. 4. ymadroddion hyn, ammeu a wnaethant yn
Pen. 4. 1. eu cylch hwy beth a ddeuai o hyn.
25 Yna y daeth un ac a fynegodd iddynt,
gan ddywedyd, Wele, y mae y gwŷr a ddo-
dasoch chwi yngharchar, yn sefyll yn y
deml, ac yn dysgu 'r bobl.
|| *capten.* 26 Yna y || blaenor, gyd â'r swyddogion,
a aeth ac a'u dug hwy heb drais (oblegid
g Mat. 21. [g] yr oedd arnynt ofn y bobl, rhag eu llabyd-
26. dio)
Pen. 4. 21.
27 Ac wedi eu dwyn, hwy a'*u* gosodasant
o flaen y cynghor: a'r arch-offeiriad a ofyn-
odd iddynt,
h Pen. 4. 28 Gan ddywedyd, [h] Oni orchymyna-
18. som ni, gan orchymyn i chwi na athraw-
iaethech yn yr enw hwn? ac wele, chwi a
lanwasoch Jerusalem â'ch athrawiaeth, ac
yr ydych yn ewyllysio dwyn arnom ni waed
y dyn hwn.
29 ¶ A Phetr a'r apostolion a attebasant
i Pen. 4. 19. ac a ddywedasant, [i] Rhaid yw ufuddhâu i
Dduw yn fwy nag i ddynion.
k Pen. 3. 30 [k] Duw ein tadau ni a gyfododd i fynu
13, 15. Iesu, yr hwn a laddasoch chwi, ac [l] a groes-
l Pen. 10. hoeliasoch ar bren.
39. a 13. 29.
1 Petr 2. 31 [m] Hwn a ddyrchafodd Duw â'i dde-
24. heu-law, yn Dywysog, ac yn Iachawdwr, i
m Pen. 2. roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pe-
33. chodau.
Heb. 2. 10.
Edrych 32 A [n] nyni ydym ei dystion ef o'r pethau
Luc 24. 47. hyn, a'r Yspryd Glân hefyd, [o] yr hwn a
n Ioan 15. roddes Duw i'r rhai sydd yn ufuddhâu iddo
26, 27. ef.
o Pen. 2. 4. 33 ¶ A [p] phan glywsant hwy *hynny,* hwy
p Pen. 7. a ffrommasant, ac a ymgynghorasant am eu
54. lladd hwynt.
q Pen. 22. 34 Eithr rhyw Pharisead a'i enw [q] Gama-
3. liel, doctor o'r gyfraith, parchedig gan yr
holl bobl, a gyfododd i fynu yn y cynghor,
ac a archodd yrru yr apostolion allan dros
ennyd fechan;
35 Ac a ddywedodd wrthynt, *Ha* wŷr o
Israel, edrychwch arnoch eich hunain, pa
beth yr ydych ar fedr ei wneuthur am y
dynion hyn.
36 Canys o flaen y dyddiau hyn cyfod-
odd Theudas i fynu, gan ddywedyd ei fod
ef yn rhyw un; wrth yr hwn y glynodd rhi-
† *Neu,* fedi o wŷr, ynghylch pedwar cant: yr hwn
*gredasant.* a laddwyd, a chynnifer oll a † ufuddhasant
iddo, a wasgarwyd, ac a wnaed yn ddid-
dym.
37 Ar ol hwn y cyfododd Judas y Gali-
lead, yn nyddiau y dreth; ag efe a drodd
bobl lawer ar ei ol: ac yntau hefyd a ddar-
fu am dano, a chynnifer oll a ufuddhasant
iddo a wasgarwyd.
38 Ac yr awrhon meddaf i chwi, Ciliwch
oddi wrth y dynion hyn, a gadêwch iddynt:
oblegid [r] os o ddynion y mae'r cynghor r Diar. 21.
hwn, neu 'r weithred hon, fe a ddiddymmir; 30.
39 Eithr os o Dduw y mae, ni ellwch Esay 8. 10.
Mat. 15. 13.
chwi ei ddiddymmu, rhag eich cael [s] yn ym- s Pen. 9. 5.
ladd yn erbyn Duw. a 23. 9.
40 A chyttuno ag ef a wnaethant. Ac
wedi iddynt alw yr apostolion attynt, a'*u*
curo, hwy a orchymynasant iddynt na le-
farent yn enw 'r Iesu, ac a'u gollyngasant
ymaith.
41 ¶ A hwy a aethant allan o olwg y t Mat. 5.
cynghor [t] yn llawen, am eu cyfrif hwynt 12.
Heb. 10.
yn deilwng i ddïoddef ammharch o achos ei 34.
enw ef. Iago 1. 2.
42 A beunydd [u] yn y deml, ac o dŷ i dŷ, 1 Petr 4.
13, 16.
ni pheidiasant â dysgu a phregethu Iesu u Pen. 2.
Grist. 46.

## PEN. VI.

1 *Yr apostolion yn chwennych nad esgeulusid y
tlodion, o ran eu lluniaeth corphorol; ac yn
ofalus hefyd eu hunain am gyfrannu gair
Duw, lluniaeth yr enaid: 3 yn ordeinio
swydd diaconiaeth i saith o wŷr etholedig;
5 o'r rhai y mae Stephan, gwr llawn o ffydd
ac o'r Yspryd Glân, yn un: 12 ei ddal ef
gan y rhai a waradwyddodd efe wrth ymre-
symmu; 13 ac achwyn arno ar gam, am ga-
blu yn erbyn y gyfraith a'r deml.*

AC yn y dyddiau hynny, a'r disgyblion 33.
yn amlhâu, bu grwgnach gan y Groe-
giaid yn erbyn yr Hebreaid, am ddirmygu
eu gwragedd gweddwon hwy yn y weinido-
gaeth feunyddiol.
2 Yna 'r deuddeg a alwasant ynghŷd y
llïaws disgyblion, ac a ddywedasant, [a] Nid a Exod. 18.
17.
yw gymhesur i ni adael gair Duw, a gwa-
sanaethu byrddau.
3 Am hynny, frodyr, [b] edrychwch yn b Deut. 1.
13.
eich plith am seithwŷr da eu gair, yn llawn Pen. 1. 21.
o'r Yspryd Glân a doethineb, y rhai a oso- a 16. 2.
dom ar hyn o orchwyl. 1 Tim. 3. 7.
4 Eithr nyni a barhâwn mewn gweddi
a gweinidogaeth y gair.
5 ¶ A boddlon fu 'r ymadrodd gan yr
holl lïaws: a hwy a etholasant Stephan,
[c] gwr llawn o ffydd ac o'r Yspryd Glân, a c Pen. 11.
24.
[d] Phylip, a Phrochorus, a Nicanor, a Thi-
mon, a Pharmenas, a Nicolas proselyt o d Pen. 8. 5,
26. a 21. 8.
Antiochia:
6 Y rhai a osodasant hwy ger bron yr a-
postolion; ac wedi iddynt weddïo, [e] hwy a e Pen. 8.
17. a 13. 3.
ddodasant *eu* dwylaw arnynt hwy. 1 Tim. 4.
7 A [f] gair Duw a gynnyddodd; a rhifedi 14. a 5. 22.
y disgyblion yn Jerusalem a amlhaodd yn 2 Tim. 1. 6.
ddirfawr, a thyrfa fawr o'r offeiriaid a ufudd- f Pen. 12.
24. a 19. 20.
hasant i'r ffydd. Col. 1. 16.
8 Eithr Stephan, yn llawn ffydd a nerth,
a wnaeth ryfeddodau ac arwyddion mawrion
ym mhlith y bobl.
9 ¶ Yna y cyfododd rhai o'r synagog a
elwir eiddo y Libertiniaid, a'r Cyreniaid, a'r
Alexandriaid, a'r rhai o Cilicia, ac o Asia,
gan ymddadleu â Stephan. g Luc 21.
10 Ac [g] ni allent wrthwynebu y doeth- 15.
ineb a'r yspryd trwy yr hwn yr oedd efe yn Edrych
Exod. 4.
llefaru. 12.
11 Yna y gosodasant wŷr i ddywedyd, Esay 54. 17.

Nyni a'i clywsom ef yn dywedyd geiriau
cablaidd yn erbyn Moses a Duw.
12 A hwy a gynhyrfasant y bobl, a'r hen-
uriaid, a'r ysgrifenyddion; a chan ddyfod
arno, a'i cipiasant ef, ac a'i dygasant i'r
gynghorfa;
13 Ac a osodasant gau dystion, y rhai a
ddywedent, Nid yw y dyn hwn yn peidio â
dywedyd cabl-eiriau yn erbyn y lle sanctaidd
hwn, a'r gyfraith.
14 Canys nyni a'i clywsom ef yn dywed-
[b] Pen. 25. yd, y [b] distrywiai yr Iesu hwn o Nazareth
1. y lle yma, ac y newidiai efe y defodau a
draddododd Moses i ni.
15 Ac fel yr oedd yr holl rai a eisteddent
yn y cynghor yn dal sulw arno, hwy a we-
lent ei wyneb ef fel wyneb angel.

## PEN. VII.

*1 Stephan, wrth gael cennad i atteb drosto ei hun am y gabledd, 2 yn dangos ddarfod i Abraham addoli Duw yn iawn; a pha fodd y dewisodd Duw y tadau, 20 cyn geni Moses, a chyn adeiladu'r babell a'r deml: 37 a thystiolaethu o Moses ei hun am Grist: 44 ac na pharhâi y seremoniau oddi allan, y rhai a ordeiniesid ar ddull y portreiad nefol, ond dros amser: 51 gan eu ceryddu hwy, am eu gwaith yn gwrthwynebu ac yn lladd Crist y Cyfiawn hwnnw, am yr hwn y rhagddywedasai y prophwydi y deuai efe i'r byd: 54 hwythau ar hynny yn ei labyddio ef i farwolaeth; ac yntau yn gorchymyn ei enaid i'r Iesu, ac yn gweddio drostynt-hwy.*

33. YNA y dywedodd yr arch-offeiriad, A
ydyw y pethau hyn felly?
[a] Pen. 22. 2 Yntau a ddywedodd, [a] *Ha* wŷr, frodyr, a
1. thadau, gwrandewch: Duw y gogoniant a ym-
ddangosodd i'n tad Abraham, pan oedd efe
ym Mesopotamia, cyn iddo drigo yn Charran;
[b] Gen. 12. 3 Ac a ddywedodd wrtho, [b] Dos allan o'th
1, 5, 6. wlad, ac oddi wrth dy dylwyth, a thyred i'r
tir a ddangoswyf i ti.
[c] Gen. 11. 4 Yna [c] y daeth efe allan o dir y Caldeaid,
31. ac y preswyliodd yn Charran: ac oddi yno,
wedi marw ei dad, efe a'i symmudodd ef i'r
tir yma yn yr hwn yr ydych chwi yn pres-
wylio yr awrhon.
5 Ac ni roes iddo etifeddiaeth ynddo, na
[d] Gen. 12. ddo led troed; ac [d] efe a addawodd ei roddi
7. a 13. 15. iddo i'w feddiannu, ac i'w had ar ei ol, pryd
nad oedd plentyn iddo.
[e] Gen. 15. 6 A Duw a lefarodd fel hyn; [e] † Dy had
13, 16. di a fydd ymdeithydd mewn gwlad ddieithr,
† Neu, *Ei had ef.* a hwy a'i caethiwant ef, ac a'i drygant [f] bed-
[f] Exod. 12. war can mlynedd.
40. 7 Eithr y genedl yr hon a wasanaethant
Gal. 3. 17. hwy, a farnaf fi, medd Duw: ac wedi hynny
[g] Exod. 3. y deuant allan, ac [g] a'm gwasanaethant i yn
12. y lle hwn.
[h] Gen. 17. 8 [h] Ac efe a roddes iddo gyfammod yr
9, 10, 11. enwaediad. Felly [i] *Abraham* a genhedlodd
[i] Gen. 21. Isaac, ac a enwaedodd arno yr wythfed
2, 3, 4. dydd: [k] ac Isaac *a genhedlodd* Jacob; a
[k] Gen. 25. 26. [l] Jacob *a genhedlodd* y deuddeg patriarch.
[l] Gen. 29. 9 [m] A'r patrieirch, gan gynfigennu, a
31, &c. a werthasant Joseph i'r Aipht: ond yr oedd
30. 5, &c. a 35. 23. Duw gyd ag ef,
[m] Gen. 37. 10 Ac a'i hachubodd ef o'i holl orthrym-
4, 28. derau, [n] ac a roes iddo hawddgarwch a doe-
Psal. 105. 17. thineb yngolwg Pharaoh brenhin yr Aipht;
[n] Gen. 41. ac efe a'i gosododd ef yn llywodraethwr ar
37. yr Aipht; ac ar ei holl dŷ.
[o] Gen. 41. 11 Ac [o] fe ddaeth newyn dros holl dir yr
54. Aipht a Chanaan, a gorthrymder mawr; a'n
tadau ni chawsant luniaeth.

12 [p] Ond pan glybu Jacob fod ŷd yn yr [p] Gen. 42.
Aipht, efe a anfonodd ein tadau ni allan yn 1.
gyntaf.
13 [q] A'r ail *waith* yr adnabuwyd Joseph [q] Gen. 45.
gan ei frodyr; a chenedl Joseph a aeth yn 4, 16.
hyspys i Pharaoh.
14 Yna yr anfonodd Joseph, ac a gyrch-
odd ei dad Jacob, [r] a'i holl genedl, pymtheg [r] Gen. 46.
enaid a thrugain. 27.
15 [s] Felly yr aeth Jacob i wared i'r Aipht, Deut. 10. 22.
ac a fu farw, efe a'n tadau hefyd. [s] Gen 46.
16 A [t] hwy a symmudwyd i Sichem, ac a 5. a 49. 33.
ddodwyd yn [u] y bedd a brynasai Abraham [t] Exod. 13.
er arian gan feibion Emmor *tad* Sichem. 19.
17 A phan nesaodd amser yr addewid, yr Jos. 24. 32.
hwn a dyngasai Duw i Abraham, [x] y bobl a [u] Gen. 23. 16. a 33. 19.
gynnyddodd, ac a amlhaodd yn yr Aipht, [x] Exod. 1.
18 Hyd oni chyfododd brenhin arall yr 7, 8, 9.
hwn nid adwaenai mo Joseph. Psal. 105.
19 Hwn a fu ddichellgar wrth ein cenedl 24.
ni, ac a ddrygodd ein tadau, [y] gan beri id- [y] Exod. 1.
dynt fwrw allan eu plant, fel na epilient. 22.
20 [z] Ar yr hwn amser y ganwyd Moses; [z] Exod. 2.
[a] ac efe oedd ‡ dlws i Dduw, ac a fagwyd 2.
dri mis yn nhŷ ei dad. [a] Heb. 11.
21 Ac wedi ei fwrw ef allan, merch Pha- 23.
raoh a'i cyfododd ef i fynu, ac a'i magodd ef ‡ *dlws iawn.*
yn fab iddi ei hun.
22 A Moses oedd ddysgedig yn holl
ddoethineb yr Aiphtiaid, ac [b] oedd nerthol [b] Luc 24.
mewn geiriau ac mewn gweithredoedd. 19.
23 A [c] phan oedd efe yn llawn ddeu- [c] Exod. 2.
geinmlwydd oed, daeth i'w galon ef ymwe- 11.
led â'i frodyr plant yr Israel.
24 A phan welodd efe un yn cael cam,
efe a'i hymddiffynodd *ef*, ac a ddïalodd gam
yr hwn a orthrymmid, gan daro'r Aipht-
iwr:
25 § Ac efe a dybiodd fod ei frodyr yn § *Oblegid.*
deall, fod Duw yn rhoddi iachawdwriaeth
iddynt trwy ei law ef; eithr hwynt hwy ni
ddeallasant.
26 [d] A'r dydd nesaf yr ymddangosodd [d] Exod. 2.
efe iddynt, a hwy yn ymrafaelio, ac a'u 13.
hannogodd hwynt i heddychu, gan ddy-
wedyd, *Ha* wŷr, brodyr ydych chwi; pa-
ham y gwnewch gam â'ch gilydd?
27 Ond yr hwn oedd yn gwneuthur cam
â'i gymmydog, a'i cilgwthiodd ef, gan ddy-
wedyd, [e] Pwy a'th osododd di yn llyw- [e] Edrych
odraethwr ac yn farnwr arnom ni? Pen. 4. 7.
28 A leddi di fi, y modd y lleddaist yr
Aiphtiwr ddoe?
29 A Moses a ffodd ar y gair hwn, ac a
fu ddïeithr yn nhir Madian; lle y cenhedl-
odd efe ddau o feibion.
30 [f] Ac wedi cyflawni deugain mlynedd, [f] Exod. 3.
yr ymddangosodd iddo yn anialwch my- 2.
nydd Sina, angel yr Arglwydd mewn fflam
dân mewn perth.
31 A Moses pan welodd, a fu ryfedd
ganddo y golwg: a phan nesaodd i ystyried,
daeth llef yr Arglwydd atto, *gan ddywedyd,*
32 [g] Myfi *yw* Duw dy dadau, Duw Abra- [g] Mat. 22.
ham, a Duw Isaac, a Duw Jacob. A Moses, 32.
wedi myned yn ddychrynedig, ni feiddiai Heb. 11.
ystyried. 16.
33 [h] Yna y dywedodd yr Arglwydd wr- [h] Jos. 5. 15.
tho, Dattod dy esgidiau oddi am dy draed:
canys y lle yr wyt yn sefyll ynddo sydd dir
sanctaidd.
34 Gan weled y gwelais ddrygfyd fy
mhobl y rhai sy yn yr Aipht, a mi a glywais
eu griddfan, ac a ddisgynais i'w gwared
hwy. Ac yn awr tyred, mi a'th anfonaf di
i'r Aipht.

35 Y Moses yma yr hwn a wrthodasant hwy, gan ddywedyd, Pwy a'th osododd di yn llywodraethwr ac yn farnwr? hwn a anfonodd Duw yn llywydd ac yn waredwr, trwy law yr angel yr hwn a ymddangosodd iddo yn y berth.

36 Hwn a'u harweiniodd hwynt allan, [i] gan wneuthur rhyfeddodau ac arwyddion yn nhir yr Aipht, ac yn y môr coch, ac [k] yn y diffaethwch ddeugain mlynedd.

37 ¶ Hwn yw 'r Moses a ddywedodd i feibion Israel, [l] Prophwyd a gyfyd yr Arglwydd eich Duw i chwi o'ch brodyr fel myfi: [m] arno ef y gwrandêwch.

38 [n] Hwn yw efe a fu yn † yr eglwys yn y diffaethwch, gyd â'r [o] angel a ymddiddanodd ag ef ym mynydd Sina, ac â'n tadau ni; yr hwn a dderbyniodd ymadroddion bywiol i'w rhoddi i ni.

39 Yr hwn ni fynnai ein tadau fod yn ufudd iddo, eithr cilgwthiasant *ef,* a throisant yn eu calonnau i'r Aipht,

40 [p] Gan ddywedyd wrth Aaron, Gwna i ni dduwiau i'n blaenori: oblegid y Moses yma, yr hwn a'n dug ni allan o dir yr Aipht, ni wyddom ni beth a ddigwyddodd iddo.

41 A hwy a wnaethant lo yn y dyddiau hynny, ac a offrymmasant aberth i'r eilun, ac a ymlawenhasant yngweithredoedd eu dwylaw eu hun.

42 Yna [q] y trodd Duw, ac a'u rhoddes hwy i fynu i wasanaethu ‡ llu y nef; fel y mae yn ysgrifenedig yn llyfr y prophwydi, [r] A offrymmasoch i mi laddedigion ac aberthau ddeugain mlynedd yn yr anialwch, chwi tŷ Israel?

43 A chwi a gymmerasoch babell Moloch, a seren eich duw Remphan, lluniau y rhai a wnaethoch i'w haddoli: minnau a'ch symmudaf chwi tu hwnt i Babilon.

44 Tabernacl y dystiolaeth oedd ym mhlith ein tadau yn yr anialwch, fel y gorchymynasai § yr hwn a ddywedai wrth Moses, [s] am ei wneuthur ef yn ol y portreiad a welsai.

45 [t] Yr hwn a ddarfu i'n tadau ni ei gymmeryd, a'i ddwyn i mewn gyd ag Iesu i berchennogaeth y Cenhedloedd, y rhai a yrrodd Duw allan o flaen ein tadau, hyd yn nyddiau Dafydd:

46 [u] Yr hwn a gafodd ffafr ger bron Duw, ac [x] a ddymunodd gael tabernacl i Dduw Jacob.

47 [y] Eithr Salomon a adeiladodd dŷ iddo ef.

48 [z] Ond nid yw y Goruchaf yn trigo mewn temlau o waith dwylaw; fel y mae y prophwyd yn dywedyd,

49 [a] Y nef *yw* fy ngorsedd-faingc, a'r ddaear *yw* troed-faingc fy nhraed. Pa dŷ a adeiledwch i mi? medd yr Arglwydd; neu pa le *fydd* i'm gorphwysfa i?

50 Onid fy llaw i a wnaeth hyn oll?

51 ¶ Chwi rai [b] gwar-galed, a [c] dïenwaededig o galon ac o glustiau, yr ydych chwi yn wastad yn gwrthwynebu'r Yspryd Glân: megis eich tadau, felly chwithau.

52 Pa un o'r prophwydi ni ddarfu i'ch tadau chwi ei erlid? a hwy a laddasant y rhai oedd yn rhag-fynegi dyfodiad [d] y Cyfiawn, i'r hwn yr awrhon y buoch chwi fradwŷr a llofruddion:

53 [e] Y rhai a dderbyniasoch y gyfraith trwy drefnid angylion, ac ni's cadwasoch.

54 ¶ A [f] phan glywsant hwy y pethau hyn, hwy a ffrommasant yn eu calonnau, ac a ysgyrnygasant ddannedd arno

[i] Exod. 7. a 8, a 9, a 10, a 11, a 14.
[k] Exod. 16. 1.
[l] Deut. 18. 15, 18. Pen. 3. 22.
[m] Mat. 17. 5.
[n] Exod. 19. 3, 17.
† *y gynnulleidfa.*
[o] Gal. 3. 19.
[p] Exod. 32. 1.
[q] Psal. 81. 12. Ezec. 20. 25, 39. Rhuf. 1. 24. 2 Thess. 2. 11.
‡ Jer. 19. 13.
[r] Amos 5. 25.
§ *drwy ddywedyd.*
[s] Exod. 25. 40. Heb. 8. 5.
[t] Jos. 3. 14.
[u] 1 Sam. 16. 1. Pen. 13. 22.
[x] Psal. 132. 4.
[y] 1 Bren. 6. 1. 1 Chron. 17. 12.
[z] 1 Bren. 8. 27. Pen. 17. 24.
[a] Esay 66. 1, 2. Mat. 5. 34. a 23. 22.
[b] Exod. 32. 9. Esay 48. 4.
[c] Lef. 26. 41. Deut. 10. 16. Jer. 4. 4. a 6. 10. a 9. 26.
[d] Pen. 3. 14.
[e] Exod. 20. 1. Gal. 3. 19. Heb. 2. 2.
[f] Pen. 5. 33.

55 Ac efe yn gyflawn o'r Yspryd Glân, a edrychodd yn ddyfal tu a'r nef; ac a welodd ogoniant Duw, a'r Iesu yn sefyll ar ddeheulaw Dduw.

56 Ac efe a ddywedodd, Wele, [g] mi a welaf y nefoedd yn agored, a Mab y dyn yn ‖ eistedd ar ddeheu-law Dduw.

57 Yna y gwaeddasant â llef uchel, ac a gauasant eu clustiau, ac a ruthrasant yn unfryd arno,

58 Ac [h] a'i bwriasant allan o'r ddinas, ac a'i llabyddiasant: [i] a'r tystion a ddodasant eu dillad wrth draed dyn ieuangc a elwid Saul.

59 A hwy a labyddiasant Stephan, ac efe yn galw *ar Dduw,* ac yn dywedyd, Arglwydd Iesu, [k] derbyn fy yspryd.

60 Ac efe a ostyngodd ar ei liniau, ac a lefodd â llef uchel, [l] Arglwydd, na ddod y pechod hwn yn eu herbyn. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a hunodd.

[g] Ezec. 1. 1. Mat. 3. 16. Pen. 10. 11.
‖ *sefyll.*
[h] 1 Bren. 21. 13. Luc 4. 29. Heb. 13. 12.
[i] Deut. 17. 7. Pen. 22. 20.
[k] Psal. 31. 5. Luc 23. 46.
[l] Mat. 5. 44. Luc 23. 34.

## PEN. VIII.

1 *Yr eglwys, o achos yr erlid yn Jerusalem, wedi ei phlannu yn Samaria, 5 trwy waith Phylip y diacon; yr hwn a bregethodd, ac a wnaeth wyrthiau, ac a fedyddiodd lawer; ym mhlith eraill Simon y swynwr, hudol mawr ym mysg y bobl. 14 Petr ac Ioan yn dyfod i gadarnhâu ac i 'chwanegu 'r eglwys, gan roddi'r Yspryd Glân trwy weddi ac arddodiad dwylaw: 18 a Simon yn ceisio prynu y cyffelyb awdurdod ganthynt; 20 a Phetr yn ei geryddu ef yn dost am ei ragrith a'i gybydd-dod, ac yn ei annog ef i edifarhâu; 25 ac yn dychwelyd i Jerusalem, dan bregethu gair yr Arglwydd, efe ac Ioan: 26 ac angel yn anfon Phylip i ddysgu ac i fedyddio yr eunuch o Ethiopia.*

A [a] Saul oedd yn cyttuno i'w ladd ef. A bu yn y dyddiau hynny erlid mawr ar yr eglwys oedd yn Jerusalem; a [b] phawb a wasgarwyd ar hŷd gwledydd Judea a Samaria, ond yr apostolion.

2 A gwŷr bucheddol a ddygasant Stephan *i'w gladdu,* ac [c] a wnaethant alar mawr am dano ef.

3 Eithr Saul [d] oedd yn anrheithio 'r eglwys, gan fyned i mewn i bob tŷ, a llusgo allan wŷr a gwragedd, efe a'u rhoddes yngharchar.

4 [e] A'r rhai a wasgarasid a dramwyasant gan bregethu 'r gair.

5 Yna Phylip a aeth i wared i ddinas Samaria, ac a bregethodd Grist iddynt.

6 A'r bobl yn gyttûn a ddaliodd ar y pethau a ddywedid gan Phylip, wrth glywed o honynt, a gweled yr arwyddion yr oedd efe yn eu gwneuthur.

7 Canys [f] ysprydion aflan, gan lefain â llef uchel, a aethant allan o lawer a berchennogid *ganddynt;* a llawer yn gleifion o'r parlys, ac yn gloffion, a iachawyd.

8 Ac yr oedd llawenydd mawr yn y ddinas honno.

9 Eithr rhyw wr a'i enw Simon, oedd o'r blaen yn y ddinas [g] yn swyno ac yn hudo pobl Samaria, gan ddywedyd ei fod ef ei hun yn rhyw un mawr.

10 Ar yr hwn yr oedd pawb, o'r lleiaf hyd y mwyaf, yn gwrando, gan ddywedyd, Mawr allu Duw yw hwn.

11 Ac yr oeddynt a'u coel arno, o herwydd iddo dalm o amser eu hudo hwy â swynion.

12 Eithr pan gredasant i Phylip, yn pregethu 'r pethau a berthynent i deyrnas

[a] Pen. 7. 58. a 22. 20.
[b] Pen. 11. 19.
[c] Gen. 23. 2. a 50. 10. 2 Sam. 3. 31.
[d] Pen. 22. 4. a 26. 10, 11. 1 Cor. 15. 9. Gal. 1. 13. 1 Tim. 1. 13.
[e] Mat. 10. 23. Pen. 11. 19.
[f] Marc 16. 17.
[g] Pen. 13. 6.

Dduw, ac i enw Iesu Grist, hwy a fedyddiwyd, yn wŷr ac yn wragedd.

13 A Simon yntau hefyd a gredodd: ac wedi ei fedyddio, a lynodd wrth Phylip; a synnodd arno wrth weled † yr arwyddion a'r nerthoedd mawrion a wnaid.

† *a gwyrthiau a'r arwyddion.*

14 ¶ A phan glybu 'r apostolion yn Jerusalem, dderbyn o Samaria air Duw, hwy a anfonasant attynt Petr ac Ioan.

15 Y rhai wedi eu dyfod i wared, a weddiasant drostynt, ar iddynt dderbyn yr Yspryd Glân.

16 (Canys h etto nid oedd efe wedi syrthio ar neb o honynt: ond yr oeddynt yn unig i wedi eu bedyddio yn enw yr Arglwydd Iesu.)

h Pen. 19. 2. i Mat. 28. 19. Pen. 2. 38.

17 Yna k hwy a ddodasant *eu* dwylaw arnynt, a hwy a dderbyniasant yr Yspryd Glân.

k Pen. 6. 6. a 19. 6. Heb. 6. 2.

18 A phan welodd Simon mai trwy ‡ osodiad dwylaw yr apostolion y rhoddid yr Yspryd Glân, efe a gynnygiodd iddynt arian,

‡ *arddodiad.*

19 Gan ddywedyd, Rhoddwch i minnau hefyd yr awdurdod hon, fel ar bwy bynnag y gosodwyf fy nwylaw, y derbynio efe yr Yspryd Glân.

20 Eithr Petr a ddywedodd wrtho, Bydded dy arian gyd â thi i ddistryw, am l i ti § dybied y meddiennir dawn Duw trwy arian.

l Mat. 10. 8. § Edrych Pen. 5.

21 Nid oes i ti na rhan na chyfran yn y gorchwyl hwn: canys nid yw dy galon di yn uniawn ger bron Duw.

22 Edifarhâ gan hynny am dy ddrygioni hwn, a gweddïa Dduw, m a faddeuir i ti feddyl-fryd dy galon.

m Dan. 4. 27. 2 Tim. 2. 25.

23 Canys mi a'th welaf mewn bustl chwerwder, ac *mewn* rhwymedigaeth anwiredd.

24 A Simon a attebodd ac a ddywedodd, n Gweddïwch chwi drosof fi at yr Arglwydd, fel na ddêl dim arnaf o'r pethau a ddywedasoch.

n Num. 21. 7. 1 Bren. 13. 6.

25 Ac wedi iddynt dystiolaethu a llefaru gair yr Arglwydd, hwy a ddychwelasant i Jerusalem, ac a bregethasant yr efengyl yn llawer o bentrefi 'r Samariaid.

26 ¶ Ac angel yr Arglwydd a lefarodd wrth Phylip, gan ddywedyd, Cyfod, a dos tu a'r dehau, i'r ffordd sydd yn myned i wared o Jerusalem i Gaza, yr hon sydd anghyfannedd.

27 Ac efe a gyfododd, ac a aeth. Ac wele o gwr o Ethiopia, eunuch galluog dan Candace brenhines yr Ethiopiaid, yr hwn oedd ar ei holl drysor hi, p yr hwn a ddaethai i Jerusalem i addoli;

o Seph. 3. 10. p Ioan 12. 20.

28 Ac oedd yn dychwelyd, ac yn eistedd yn ei gerbyd, ac yn darllain y prophwyd Esaias.

29 A dywedodd yr Yspryd wrth Phylip, Dos yn nes, a glŷn wrth y cerbyd yma.

30 A Phylip a redodd atto, ac a'i clybu ef yn darllain y prophwyd Esaias; ac a ddywedodd, A wyt ti yn deall y pethau yr wyt yn eu darllain?

31 Ac efe a ddywedodd, Pa fodd y gallaf, oddi eithr i ryw un fy nghyfarwyddo i? Ac efe a ddymunodd ar Phylip ddyfod i fynu, ac eistedd gyd ag ef.

32 A'r lle o'r ysgrythyr yr oedd efe yn ei ddarllain, oedd hwn, q Fel dafad i'r lladdfa yr arweiniwyd ef; ac fel oen ger bron ei gneifiwr yn fud, felly nid agorodd efe ei enau:

q Esay 53. 7.

33 Yn ei ostyngiad, ei farn ef a dynnwyd ymaith; eithr pwy a draetha ei genhedlaeth ef? oblegid dygir ei fywyd ef oddi ar y ddaear.

34 A'r eunuch a attebodd Phylip, ac a ddywedodd, Attolwg i ti, am bwy y mae 'r prophwyd yn dywedyd hyn? am dano ei hun, ai am ryw un arall?

35 A Phylip a agorodd ei enau, ac a ddechreuodd ar yr ysgrythyr honno, ac a bregethodd iddo yr Iesu.

36 Ac fel yr oeddynt yn myned ar hŷd y ffordd, hwy a ddaethant at ryw ddwfr. A'r eunuch a ddywedodd, Wele ddwfr; r beth sydd yn lluddias fy medyddio?

r Pen. 10. 47.

37 A Phylip a ddywedodd, Os wyt ti yn credu â'th holl galon, fe a ellir. Ac efe a attebodd ac a ddywedodd, s Yr wyf yn credu fod Iesu Grist yn Fab Duw.

s Mat. 16. 16. Ioan 6. 69. a 11. 27. Pen. 9. 20. 1 Ioan 4. 15. a 5. 5.

38 Ac efe a orchymynodd sefyll o'r cerbyd: a hwy a aethant i wared ill dau i'r dwfr, Phylip a'r eunuch; ac efe a'i bedyddiodd ef.

39 A phan ddaethant i fynu o'r dwfr, t Yspryd yr Arglwydd a gipiodd Phylip ymaith, ac ni welodd yr eunuch ef mwyach. Ac efe a aeth ar hŷd ei ffordd ei hun yn llawen.

t 1 Bren. 18. 12. 2 Bren. 2. 16. Ezec. 3. 12, 14.

40 Eithr Phylip a gaed yn Azotus: a chan dramwy, efe a efangylodd ym mhob dinas hyd oni ddaeth efe i Cesarea.

## PEN. IX.

1 *Saul yn myned i Ddamascus; a'i daraw ef i lawr i'r ddaear;* 10 *a'i alw i fod yn apostol;* 18 *a'i fedyddio gan Ananias:* 20 *yntau yn pregethu Crist yn hyderus.* 23 *Yr Iuddewon yn cynllwyn i'w ladd ef,* 29 *a'r Groegwŷr hefyd; yntau yn diangc rhag y ddwy blaid.* 31 *Yr eglwysi yn cael llonyddwch.* 32 *Petr yn iachâu Aeneas o'r parlys,* 36 *ac yn codi Tabitha o farw i fyw.*

A a Saul etto yn chwŷthu bygythiau a chelanedd yn erbyn disgyblion yr Arglwydd, a aeth at yr arch-offeiriad,

35. a Pen. 8. 3. Gal. 1. 13. 1 Tim. 1. 13.

2 Ac a ddeisyfiodd ganddo lythyrau i Ddamascus, at y synagogau, fel os cai efe neb o'r ffordd † *hon*, na gwŷr na gwragedd, y gallai efe eu dwyn hwy yn rhwym i Jerusalem.

† *honno.* Pen. 19. 9, 23.

3 Ac b fel yr oedd efe yn ymdaith, bu iddo ddyfod yn agos i Ddamascus: ac yn ddisymmwth llewyrchodd o'i amgylch oleuni o'r nef.

b Pen. 22. 6. a 26. 12. 1 Cor. 15. 8.

4 Ac efe a syrthiodd ar y ddaear, ac a glybu lais yn dywedyd wrtho, Saul, Saul, pa ham yr wyt yn fy erlid i?

5 Yntau a ddywedodd, Pwy wyt ti, Arglwydd? A'r Arglwydd a ddywedodd, Myfi yw Iesu, yr hwn yr wyt ti yn ei erlid: c caled *yw* i ti wingo yn erbyn y symbylau.

c Pen. 5. 39.

6 Yntau gan grynu, ac â braw arno, a ddywedodd, Arglwydd, d beth a fynni di i mi ei wneuthur? A'r Arglwydd *a ddywedodd* wrtho, Cyfod, a dos i'r ddinas, ac fe a ddywedir i ti pa beth sy raid i ti ei wneuthur.

d Luc 3. 10. Pen. 2. 37. a 16. 30.

7 e A'r gwŷr oedd yn cyd-deithio ag ef a safasant yn ‡ fud, gan glywed y llais, ac heb weled neb.

e Dan. 10. 7. Edrych Pen. 22. 9. a 26. 13. ‡ *syn.*

8 A Saul a gyfododd oddi ar y ddaear; a phan agorwyd ei lygaid, ni welai efe neb: eithr hwy a'i tywysasant ef erbyn ei law, ac a'i dygasant *ef* i mewn i Ddamascus.

9 Ac efe a fu dridiau heb weled, ac ni wnaeth na bwytta nac yfed.

10 ¶ Ac yr oedd rhyw ddisgybl yn Damascus, a'i enw Ananias: a'r Arglwydd a ddywedodd wrtho ef mewn gweledigaeth,

Ananïas. Yntau a ddywedodd, Wele fi,
Arglwydd.
11 A'r Arglwydd *a ddywedodd* wrtho, Cy-
fod, a dos i'r heol a elwir Uniawn, a chais
[f] Pen. 21. yn nhŷ Judas *un* a'i enw Saul, [f] o Tarsus:
39. a 22. 3. canys wele y mae yn gweddïo,
12 Ac *efe* a welodd mewn gweledigaeth
wr a'i enw Ananïas, yn dyfod i mewn, ac
yn dodi ei law arno, fel y gwelai eilwaith.
13 Yna yr attebodd Ananïas, O Arglwydd,
mi a glywais gan lawer am y gwr hwn,
[g] Adn. 1. [g] faint o ddrygau a wnaeth efe i'th saint di
yn Jerusalem:
14 Ac yma y mae ganddo awdurdod oddi
wrth yr arch-offeiriaid, i rwymo pawb sy'n
galw ar dy enw di.
15 A dywedodd yr Arglwydd wrtho, Dos
[h] Pen. 13. ymaith: canys [h] y mae hwn yn llestr etho-
2. a 22. 21. ledig i mi, i ddwyn fy enw ger bron [i] y Cen-
Rhuf. 1. 1. hedloedd, a [k] brenhinoedd, a phlant Israel.
Gal. 1. 15. Eph. 3. 8. 16 Canys [l] myfi a ddangosaf iddo pa be-
1 Tim. 2. 7. thau eu maint sydd raid iddo ef eu dioddef
2 Tim. 2. 11. er mwyn fy enw i.
[i] Rhuf. 1. 5. 17 Ac [m] Ananïas a aeth ymaith, ac a
aeth i mewn i'r tŷ; ac [n] wedi dodi ei ddwy-
[k] Pen. 25. 22. law arno, efe a ddywedodd, Y brawd Saul,
yr Arglwydd a'm hanfonodd i (Iesu yr hwn
[l] Pen. 21. 11. a ymddangosodd i ti ar y ffordd y daethost)
2 Cor. 11. 23. fel y gwelych drachefn, ac [o] y'th lanwer â'r
Yspryd Glân.
[m] Pen. 22. 12. 18 Ac yn ebrwydd y syrthiodd oddi wrth
ei lygaid ef megis cen: ac efe a gafodd ei
[n] Pen. 8. 17. olwg yn y man; ac *efe* a gyfododd, ac a fe-
dyddiwyd.
[o] Pen. 8. 15. 19 Ac wedi iddo gymmeryd bwyd, efe a
gryfhaodd. A bu Saul gyd â'r disgyblion
oedd yn Damascus dalm o ddyddiau.
20 Ac yn ebrwydd yn y synagogau efe a
[p] Pen. 8. 37. bregethodd Grist, mai [p] efe yw Mab Duw.
21 A phawb a'r a'i clybu *ef*, a synnasant,
ac a ddywedasant, Onid hwn yw'r un oedd
yn difetha yn Jerusalem y rhai a alwent ar
yr enw hwn, ac a ddaeth yma er mwyn hyn,
fel y dygai hwynt yn rhwym at yr arch-
offeiriaid?
22 Eithr Saul a gynnyddodd fwy-fwy o
nerth, ac a orchfygodd yr Iuddewon oedd
yn preswylio yn Damascus, gan gadarnhâu
mai hwn yw Crist.
37. 23 ¶ Ac wedi cyflawni llawer o ddyddiau,
cyd-ymgynghorodd yr Iuddewon i'w ladd ef.
[q] 2 Cor. 11. 32. 24 [q] Eithr eu cyd-fwriad hwy a wybuwyd
gan Saul: a hwy a ddisgwyliasant y pyrth
ddydd a nos, i'w ladd ef.
25 Yna y disgyblion a'i cymmerasant ef
[r] Jos. 2. 15. o hŷd nos, ac [r] a'i gollyngasant i wared
1 Sam. 19. 12. † dros y mur mewn basged.
† *ar hŷd.* 26 [s] A Saul, wedi ei ddyfod i Jerusalem,
[s] Pen. 22. 17. a geisiodd ymwasgu â'r disgyblion: ac yr
oeddynt oll yn ei ofni ef, heb gredu ei fod
ef yn ddisgybl.
[t] Pen. 4. 36. 27 Eithr [t] Barnabas a'i cymmerodd ef, ac
a'i dug at yr apostolion, ac a fynegodd id-
dynt pa fodd y gwelsai efe yr Arglwydd ar y
ffordd, ac ymddiddan o hono ag ef, ac mor
hŷ a fuasai efe yn Damascus yn enw yr Iesu.
[u] Gal. 1. 18. 28 Ac [u] yr oedd efe gyd â hwynt, yn my-
ned i mewn ac yn myned allan, yn Jeru-
salem.
29 A chan fod yn hŷ yn enw'r Arglwydd
Iesu, efe a lefarodd ac a ymddadleuodd yn
[x] Pen. 6. 1. erbyn y [x] Groegiaid; a hwy a geisiasant ei
ladd ef.
30 A'r brodyr, pan wybuant, a'i dygasant
ef i wared i Cesarea, ac a'i hanfonasant ef
ymaith i Tarsus

31 Yna'r eglwysi trwy holl Judea, a Ga-
lilea, a Samaria, a gawsant heddwch, ac a
adeiladwyd; a chan rodio yn ofn yr Ar-
glwydd, ac yn niddanwch yr Yspryd Glân,
hwy a amlhawyd.
32 ¶ A bu, a Phetr yn tramwy [y] ‡ trwy'r 38.
holl *wledydd*, iddo ddyfod i wared at y [y] Pen. 8.
saint hefyd y rhai oedd yn trigo yn Lydda. 14.
33 Ac efe a gafodd yno ryw ddyn a'i enw ‡ *heibio i*
Aeneas, er ys wyth mlynedd yn gorwedd ar *bawb.*
wely, yr hwn oedd glaf o'r parlys.
34 A Phetr a ddywedodd wrtho, Aeneas,
y mae Iesu Grist yn dy iachâu di: cyfod, a
chyweiria dy wely. Ac efe a gyfododd yn
ebrwydd.
35 A phawb a'r oedd yn preswylio yn
Lydda a [z] Saron a'i gwelsant ef, ac a ym- [z] 1 Chron.
chwelasant at yr Arglwydd. 5. 16
36 ¶ Ac yn Joppa yr oedd rhyw ddis-
gybles a'i henw Tabitha (yr hon os cyf-
ieithir a elwir § Dorcas) hon oedd yn llawn § *Neu, Ewig.*
o [a] weithredoedd da, ac elusenau y rhai a [a] Tit. 3. 8
wnaethai hi.
37 A digwyddodd yn y dyddiau hynny
iddi fod yn glaf, a marw: ac wedi iddynt ei
golchi, hwy a'i dodasant *hi* [b] mewn llofft. [b] Pen. 1.
38 Ac o herwydd bod Lydda yn agos i 13.
Joppa, y disgyblion a glywsant fod Petr
yno; ac a anfonasant ddau wr atto ef, gan
ddeisyf ‖ nad oedai ddyfod hyd attynt ‖ *na fyddai hir*
hwy. *ganddo.*
39 A Phetr a gyfododd, ac a aeth gyd â
hwynt. *Ac* wedi ei ddyfod, hwy a'i dygasant
ef i fynu i'r llofft: a'r holl wragedd gwedd-
won a safasant yn ei ymyl ef yn wylo, ac yn
dangos y peisiau a'r gwisgoedd a wnaethai
Dorcas tra'r ydoedd hi gyd â hwynt.
40 Eithr Petr, wedi eu bwrw hwy i gyd
allan, a dodi ei [c] liniau *ar lawr*, a weddïodd; [c] Pen. 7.
a chan droi at y corph, a ddywedodd, Ta- 60.
bitha, cyfod. A hi a agorodd ei llygaid, a
phan welodd hi Petr, hi a gododd yn ei hei-
stedd.
41 Ac efe a roddodd ei law iddi, ac a'i
cyfododd hi i fynu. Ac wedi galw y saint
a'r gwragedd gweddwon, *efe* a'i gosododd hi
ger bron yn fyw.
42 A hyspys fu trwy holl Joppa: a llawer
a gredasant yn yr Arglwydd.
43 A bu iddo aros yn Joppa lawer o ddy-
ddiau gyd ag un [d] Simon, barcer. [d] Pen. 10. 6.

## PEN. X.

1 *Cornelius, gwr defosiynol,* 5 *wrth orchy-*
*myn angel, yn danfon i gyrchu Petr:* 11
*yntau, trwy weledigaeth,* 15, 20 *a ddysgir*
*na ddiystyrai mo'r Cenhedloedd.* 34 *Ac efe*
*yn pregethu Crist i Cornelius, a'r rhai oedd*
*gyd ag ef,* 44 *yr Yspryd Glân yn disgyn*
*arnynt;* 48 *a'u bedyddio hwy.*

YR oedd rhyw wr yn Cesarea, a'i enw 41.
Cornelius, canwriad o'r fyddin a elwid
yr Italaidd;
2 *Gwr* defosiynol, ac yn ofni Duw, yng-
hŷd â'i holl dŷ, ac yn gwneuthur llawer o
elusenau i'r bobl, ac yn gweddïo Duw yn
wastadol.
3 Efe a welodd mewn gweledigaeth yn
eglur, ynghylch y nawfed awr o'r dydd, an-
gel Duw yn dyfod i mewn atto, ac yn dy-
wedyd wrtho, Cornelius.
4 Ac wedi iddo graffu arno, a myned yn
ofnus, efe a ddywedodd, Beth sydd, Ar-
glwydd? Ac efe a ddywedodd wrtho, Dy
weddïau di a'th elusenau a ddyrchafasant yn
goffadwriaeth ger bron Duw.

5 Ac yn awr anfon wŷr i Joppa, a gyr am
Simon, yr hwn a gyfenwir Petr:
6 Y mae efe yn llettya gyd ag un Simon,
barcer, tŷ'r hwn sydd wrth y môr: efe a
ddywaid i ti pa beth sydd raid i ti ei wneu-
thur.
7 A phan ymadawodd yr angel oedd yn
ymddiddan â Chornelius, efe a alwodd ar
ddau o dylwyth ei dŷ, a milwr defosiynol
o'r rhai oedd yn aros gyd ag ef:
8 Ac wedi iddo fynegi iddynt y cwbl,
efe a'u hanfonodd hwynt i Joppa.
9 ¶ A thrannoeth, fel yr oeddynt hwy yn
a Pen. 11. ymdeithio, ac yn nesâu at y ddinas, a Petr
5, &c. a aeth i fynu ar y tŷ i weddïo, ynghylch y
chweched awr.
10 Ac fe ddaeth arno newyn mawr, ac
efe a chwennychai gael bwyd. Ac a hwynt
yn parottôi *iddo*, fe syrthiodd arno lewyg:
b Pen. 7. 11 Ac b *efe* a welai y nef yn agored, a
56. rhyw lestr yn disgyn arno, fel llen-lliain
Dat. 19. 11. fawr, wedi rhwymo ei phedair congl, a'i
gollwng i wared hyd y ddaear:
12 Yn yr hon yr oedd pob rhyw bedwar-
carnolion y ddaear, a gwŷllt-filod, ac ym-
lusgiaid, ac ehediaid y nef.
13 A daeth llef atto, Cyfod, Petr; lladd,
a bwytta.
14 A Phetr a ddywedodd, Nid felly, Ar-
c Lef. 11. 4. glwydd: canys c ni fwytteais i erioed ddim
Deut. 14. cyffredin neu aflan.
7.
Ezec. 4. 14. 15 A'r llef drachefn *a ddywedodd* wrtho yr
d Mat. 15. ail waith, d Y pethau a lanhâodd Duw, na
11. alw di yn gyffredin.
Rhuf. 14. 16 A hyn a wnaed dair gwaith: a'r llestr a
17, 20.
1 Tim. 4. 4. dderbyniwyd drachefn i fynu i'r nef.
Tit. 1. 15. 17 Ac fel yr oedd Petr yn ammeu ynddo
ei hun beth oedd y weledigaeth a welsai;
wele, y gwŷr a anfonasid oddi wrth Corne-
lius, wedi ymofyn am dŷ Simon, oeddynt
yn sefyll wrth y porth.
18 Ac wedi iddynt alw, hwy a ofynasant
a oedd Simon, yr hwn a gyfenwid Petr, yn
llettya yno.
19 ¶ Ac fel yr oedd Petr yn meddwl am
y weledigaeth, dywedodd yr Yspryd wrtho,
Wele dri wŷr yn dy geisio di.
e Pen. 15. 20 Am hynny e cyfod, disgyn, a dos gyd
7. â hwynt, heb ammeu dim: o herwydd myfi
a'u hanfonais hwynt.
21 A Phetr, wedi disgyn at y gwŷr a an-
fonasid oddi wrth Cornelius atto, a ddywe-
dodd, Wele, myfi yw yr hwn yr ydych
chwi yn ei geisio: beth *yw* yr achos y
daethoch o'i herwydd?
22 Hwythau a ddywedasant, Cornelius y
canwriad, gwr cyfiawn, ac yn ofni Duw, ac
â gair da iddo gan holl genedl yr Iuddewon,
a rybuddiwyd gan angel sanctaidd, i ddan-
fon am danat ti i'w dŷ, ac i wrando geiriau
gennyt.
23 Am hynny efe a'u galwodd hwynt i
mewn, ac a'u llettyodd *hwy*. A thrannoeth
yr aeth Petr ymaith gyd â hwy, a rhai o'r
brodyr o Joppa a aeth gyd ag ef.
24 A thrannoeth yr aethant i mewn i
Cesarea. Ac yr oedd Cornelius yn disgwyl
am danynt, ac efe a alwasai ei geraint a'i an-
wyl gyfeillion ynghŷd.
25 Ac fel yr oedd Petr yn dyfod i mewn,
Cornelius a gyfarfu ag ef, ac a syrthiodd
wrth ei draed, ac a'i haddolodd *ef*.
26 Eithr Petr a'i cyfododd ef i fynu,
f Pen. 14. gan ddywedyd, f Cyfod; dyn wyf finnau
14.
Dat. 19. 10. hefyd.
a 22. 9. 27 A than ymddiddan ag ef, efe a ddaeth
i mewn, ac a gafodd lawer wedi ymgynnull
ynghŷd.
28 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Chwi a
wyddoch g mai anghyfreithlawn yw i wr o g Ioan 4. 9.
Iuddew ymwasgu neu ddyfod at alltud: a 18. 28.
eithr h Duw a ddangosodd i mi na alwn neb Pen. 11. 3.
yn gyffredin neu yn aflan. h Pen. 15.
29 O ba herwydd, *ie*, yn ddinâg, y daeth- 8.
um, pan anfonwyd am danaf: yr wyf gan Eph. 3. 6.
hynny yn gofyn am ba achos y danfonasoch
am danaf.
30 A Chornelius a ddywedodd, Er ys
pedwar diwrnod i'r awr hon *o'r dydd* yr
oeddwn yn ymprydio, ac ar y nawfed awr
yn gweddïo yn fy nhŷ: ac wele, safodd gwr
ger fy mron i mewn gwisg ddisglair, i Mat. 28.
31 Ac a ddywedodd, Cornelius, gwran- 3.
dawyd dy weddi di, a'th elusenau a ddaeth- Marc 16. 5.
ant mewn coffa ger bron Duw. Luc 24. 4.
32 Am hynny anfon i Joppa, a galw am
Simon, yr hwn a gyfenwir Petr: y mae efe
yn llettya yn nhŷ Simon, barcer, ynglàn y
môr; yr hwn, pan ddelo attat, a lefara
wrthyt.
33 Am hynny yn ddïoed myfi a anfonais
attat; a thi a wnaethost yn dda ddyfod. Yr
awrhon, gan hynny, yr ŷm ni oll yn bre-
sennol ger bron Duw, i wrando yr holl be-
thau a orchymynwyd i ti gan Dduw.
34 ¶ Yna yr agorodd Petr *ei* enau, ac a
ddywedodd, k Yr wyf yn deall mewn gwi- k Deut. 10.
rionedd, nad ydyw Duw dderbyniwr wy- 17.
neb: Job 34. 19.
35 Ond ym mhob cenedl, y neb sydd yn Rhuf. 2. 11.
ei ofni ef, ac yn gweithredu cyfiawnder, Gal. 2. 6.
sydd gymmeradwy ganddo ef. Eph. 6. 9.
36 Y gair yr hwn a anfonodd *Duw* i blant Col. 3. 25.
Israel, l gan bregethu tangnefedd trwy Iesu 1 Petr 1. 17.
Grist (m efe yw Arglwydd pawb oll) l Esay 57.
37 Chwychwi a wyddoch y † gair a fu yn 19.
holl Judea, n gan ddechreu o Galilea, wedi Eph. 2. 14,
y bedydd a bregethodd Ioan: 16, 17.
38 Y modd yr enneiniodd Duw Iesu o Col. 1. 20.
Nazareth â'r Yspryd Glân, ac â nerth; yr m Rhuf. 10.
hwn a gerddodd o amgylch gan wneuthur 12.
daioni, ac iachâu pawb a'r oedd wedi eu † Neu,
gorthrymmu gan ddiafol: oblegid yr oedd *peth*.
Duw gyd ag ef. n Luc 4.
39 A ninnau ydym dystion o'r pethau oll 14.
a wnaeth efe yngwlâd yr Iuddewon, ac yn
Jerusalem; yr hwn a laddasant, ac a groes-
hoeliasant ar bren:
40 o Hwn a gyfododd Duw y trydydd o Pen. 2.
dydd, ac a'i rhoddes ef i'w wneuthur yn 24.
amlwg;
41 Nid i'r bobl oll, eithr i'r tystion ethol-
edig o'r blaen gan Dduw, *sef* i ni, y rhai a
fwyttasom ac a yfasom gyd ag ef wedi ei
adgyfodi ef o feirw.
42 Ac p efe a orchymynodd i ni bregethu p Mat. 28.
i'r bobl, a thystiolaethu mai q efe yw'r hwn 19.
a ordeiniwyd gan Dduw r yn Farnwr byw a Pen. 1. 8.
meirw. q Ioan 5.
43 s I hwn y mae'r holl brophwydi yn 22, 27.
dwyn tystiolaeth, y derbyn pawb a gredo yn- Pen. 17. 31.
ddo ef faddeuant pechodau, trwy ei enw ef. r Rhuf. 14.
44 ¶ A Phetr etto yn llefaru'r geiriau 9, 10.
hyn, syrthiodd t yr Yspryd Glân ar bawb a 2 Tim. 4. 1.
oedd yn clywed y gair. 1 Petr 4. 5.
45 A'r rhai o'r enwaediad a oeddynt yn s Jer. 31.
credu, cynnifer ag a ddaethent gyd â Phetr, 34.
a synnasant, am dywallt dawn yr Yspryd Michah 7.
Glân ar y Cenhedloedd hefyd. 18.
46 Canys yr oeddynt yn eu clywed hwy Pen. 26. 22.
yn llefaru â thafodau, ac yn mawrygu Duw. t Pen. 4. 31.
Yna yr attebodd Petr, a 8. 15, 16.

47 A all neb luddias dwfr, fel na fedyddier y rhai hyn, y rhai a dderbyniasant yr
[u] Pen. 15. 8. Yspryd Glân, [u] fel ninnau?

48 [x] Ac efe a orchymynodd eu bedyddio
[x] 1 Cor. 1. 17. hwynt [y] yn enw yr Arglwydd. Yna y deisyfiasant arno aros dros ennyd o ddyddiau.
[y] Pen. 8. 10.

## PEN. XI.

1 *Petr, wedi achwyn arno am fyned i mewn at y Cenhedloedd, yn gwneuthur ei ymddiffyn;* 18 *ac yn cael ei dderbyn.* 19 *Wedi cyrhaeddyd o'r efengyl hyd Phenice, a Cyprus, ac Antiochia, yr ydys yn danfon Barnabas i'w cadarnhâu hwynt.* 26 *Y disgyblion yno yn cael yn gyntaf rhai eu galw yn Gristianogion;* 27 *ac yn anfon ymwared i'r brodyr yn Judea, yn amser newyn.*

41. A'R apostolion a'r brodyr oedd yn Judea, a glywsant ddarfod i'r Cenhedloedd hefyd dderbyn gair Duw.

2 A phan ddaeth Petr i fynu i Jerusalem,
[a] Pen. 10. 45. [a] y rhai o'r enwaediad a ymrysonasant yn ei erbyn ef,

[b] Pen. 10. 28. Gal. 2. 12. 3 Gan ddywedyd, [b] Ti a aethost i mewn at wŷr dïenwaededig, ac a fwytteaist gyd â hwynt.

4 Eithr Petr a ddechreuodd, ac a eglurodd *y peth* iddynt mewn trefn, gan ddywedyd,

[c] Pen. 10. 9, &c. 5 [c] Yr oeddwn i yn ninas Joppa yn gweddïo; ac mewn llewyg y gwelais weledigaeth, Rhyw lestr megis llen-llïain fawr yn disgyn, wedi ei gollwng o'r nef erbyn ei phedair congl; a hi a ddaeth hyd attaf fi.

6 Ar yr hon pan edrychais, yr ystyriais, ac mi a welais bedwar-carnolion y ddaear, a gwŷllt-filod, ac ymlusgiaid, ac ehediaid y nef.

7 Ac mi a glywais lef yn dywedyd wrthyf, Cyfod, Petr; lladd, a bwytta.

8 Ac mi a ddywedais, Nid felly, Arglwydd: canys dim cyffredin neu aflan nid aeth un amser i'm genau.

9 Eithr y llais a'm hattebodd i eilwaith o'r nef, Y pethau a lanhaodd Duw, na alw di yn gyffredin.

10 A hyn a wnaed dair gwaith: a'r holl bethau a dynnwyd i fynu i'r nef drachefn.

11 Ac wele, yn y man yr oedd tri wŷr yn sefyll wrth y tŷ yr oeddwn ynddo, wedi eu hanfon o Cesarea attaf fi.

[d] Pen. 10. 19. a 15. 7. 12 [d] A'r Yspryd a archodd i mi fyned gyd â hwynt, heb ammeu dim. A'r chwe brodyr hyn a ddaethant gyd â mi; a nyni a ddaethom i mewn i dŷ y gwr.

13 Ac efe a fynegodd i ni pa fodd y gwelsai efe angel yn ei dŷ, yn sefyll ac yn dywedyd wrtho, Anfon wŷr i Joppa, a gyr am Simon, a gyfenwir Petr:

14 Yr hwn a lefara eiriau wrthyt, trwy y rhai y'th iacheir di a'th holl dŷ.

15 Ac a myfi yn dechreu llefaru, syrth-
[e] Pen. 2. 4. iodd yr Yspryd Glân arnynt, [e] megis arnom ninnau yn y dechreuad.

16 Yna y cofiais air yr Arglwydd, y modd
[f] Ioan 1. 26. Pen. 1. 5. a 19. 4. y dywedasai efe, [f] Ioan yn wir a fedyddiodd â dwfr; eithr [g] chwi a fedyddir â'r Yspryd Glân.

[g] Esay 44. 3. Ioel 2. 28. a 3. 18. 17 [h] Os rhoddes Duw gan hynny iddynt hwy gyffelyb rodd ag i ninnau, y rhai a gredasom yn yr Arglwydd Iesu Grist, pwy
[h] Pen. 15. 8. oeddwn i, i allu lluddias Duw?

18 A phan glywsant y pethau hyn, distawu a wnaethant, a gogoneddu Duw, gan ddywedyd, Fe roddes Duw gan hynny i'r Cenhedloedd hefyd edifeirwch i fywyd.

[i] Pen. 8. 1. 19 ¶ [i] A'r rhai a wasgarasid o herwydd y blinder a godasai ynghylch Stephan, a dramwyasant hyd yn Phenice, a Cyprus, ac Antiochia, heb lefaru y gair wrth neb ond wrth yr Iuddewon yn unig.

20 A rhai o honynt oedd wŷr o Cyprus ac o Cyrene, y rhai wedi dyfod i Antiochia, a lefarasant wrth y Groegiaid, gan bregethu 'r Arglwydd Iesu.

21 [k] A llaw yr Arglwydd oedd gyd â [k] Pen. 2. 47.
hwynt: a nifer mawr a gredodd, ac a drodd at yr Arglwydd.

22 ¶ A'r gair a ddaeth i glustiau 'r eglwys 42.
oedd yn Jerusalem am y pethau hyn: a hwy a anfonasant Barnabas i fyned hyd Antiochia.

23 Yr hwn pan ddaeth, a gweled gras
Duw, a fu lawen ganddo, ac [l] a gynghorodd [l] Pen. 13. 43. a 14. 22.
bawb oll, trwy lwyr-fryd calon, i lynu wrth yr Arglwydd.

24 Oblegid yr oedd efe yn wr da, ac [m] yn [m] Pen. 6. 5.
llawn o'r Yspryd Glân, ac o ffydd: a llawer o bobl a 'chwanegwyd i'r Arglwydd.

25 Yna yr aeth Barnabas i [n] Tarsus, i 43.
geisio Saul. Ac wedi iddo ei gael, efe a'i [n] Pen. 9. 30.
dug i Antiochia.

26 A bu iddynt flwyddyn gyfan ymgynnull † yn yr eglwys, a dysgu pobl lawer; a † Neu, *gyd â'r eglwys.*
bod galw y disgyblion yn Gristianogion yn gyntaf yn Antiochia.

27 ¶ Ac yn y dyddiau hynny daeth prophwydi o Jerusalem i wared i Antiochia.

28 Ac un o honynt, a'i enw [o] Agabus, a [o] Pen. 21. 10.
gyfododd, ac a arwyddocaodd trwy 'r yspryd, y byddai newyn mawr dros yr holl fyd: yr hwn *hefyd* a fu dan Claudius Cesar.

29 Yna'r disgyblion, bob un yn ol ei ‡ *luniaethasant.*
allu, a ‡ fwriadasant anfon [p] cymmorth i'r [p] 2 Cor. 9. 1.
brodyr oedd yn preswylio yn Judea.

30 [q] Yr hyn beth hefyd a wnaethant; gan 44.
ddanfon at yr henuriaid trwy law Barnabas [q] Pen. 12. 25.
a Saul.

## PEN. XII.

1 *Herod yn erlid y Cristianogion: yn lladd Iago; ac yn carcharu Petr: a'r angel yn ei waredu ef, wrth weddïau yr eglwys.* 20 *Herod, trwy falchder, yn cymmeryd iddo ei hun y gogoniant oedd ddyledus i Dduw; ac yn cael ei daro gan yr angel, ac yn marw yn resynol:* 24 *a'r eglwys yn llwyddo ar ol ei farwolaeth ef.*

AC ynghylch y pryd hynny † yr estyn- 44.
odd Herod frenhin *ei* ddwylaw i ddrygu rhai o'r eglwys. † *y dechreuodd Herod frenhin ddrygu,* &c.

2 Ac efe a laddodd Iago [a] brawd Ioan â'r cleddyf.

3 A phan welodd fod yn dda gan yr Iuddewon hynny, efe a 'chwanegodd ddala Petr [a] Mat. 4. 21.
hefyd (A [b] dyddiau y bara croyw ydoedd hi) [b] Exod. 23. 15.

4 [c] Yr hwn, wedi ei ddal, a roddes efe
yngharchar, ac a'i traddododd at bedwar [c] Ioan 21. 18.
pedwariaid o filwŷr i'w gadw; gan ewyllysio, ar ol y Pasg, ei ddwyn ef allan at y bobl.

5 Felly Petr a gadwyd yn y carchar:
eithr gweddi ‡ ddyfal a wnaethpwyd gan ‡ Neu, *ddibaid,* neu, *ddifrif.*
yr eglwys at Dduw drosto ef.

6 A phan oedd Herod a'i fryd ar ei ddwyn ef allan, y nos honno yr oedd Petr yn cysgu rhwng dau filwr, wedi ei rwymo â dwy gadwyn; a'r ceidwaid o flaen y drws oeddynt yn cadw y carchar.

7 Ac wele, [d] angel yr Arglwydd a safodd [d] Pen. 5. 19.
ger llaw, a goleuni a ddisgleiriodd yn y
§ carchar: ac efe a darawodd ystlys Petr, § *tŷ.*
ac a'i cyfododd ef, gan ddywedyd, Cyfod yn fuan. A'i gadwyni ef a syrthiasant oddi wrth ei ddwylaw.

8 A dywedodd yr angel wrtho, Ymwregysa, a rhwym dy sandalau. Ac felly y gwnaeth efe. Yna y dywedodd, Bwrw dy wisg am danat, a chanlyn fi.

9 Ac efe a aeth allan, ac a'i canlynodd ef: ac [e] ni's gwybu mai gwir oedd y peth a wnaethid gan yr angel; eithr yr oedd yn tybied mai gweled gweledigaeth yr oedd.

[e] Psal. 126. 1.

10 Ac wedi myned o honynt heb law y gyntaf a'r ail wyliadwriaeth, hwy a ddaethant i'r porth haiarn [f] yr hwn sydd yn arwain i'r ddinas, yr hwn a ymagorodd iddynt o'i waith ei hun: ac wedi eu myned allan, hwy a aethant ar hŷd un heol; ac yn ebrwydd yr angel a aeth ymaith oddi wrtho.

[f] Pen. 16. 26.

11 A Phetr, wedi dyfod atto ei hun, a ddywedodd, Yn awr y gwn yn wir [g] anfon o'r Arglwydd ei angel, a'm gwared i allan o law Herod, ac *oddi wrth* holl ddisgwyliad pobl yr Iuddewon.

[g] Dan. 6. 22.

12 Ac wedi iddo † gymmeryd pwyll, [h] efe a ddaeth i dŷ Mair mam [i] Ioan, yr hwn oedd a'i gyfenw Marc, lle yr oedd llawer wedi ymgasglu, *ac* yn gweddïo.

† Neu, *ystyried y peth.* [h] Pen. 4. 23. [i] Pen. 15. 37.

13 Ac fel yr oedd Petr yn curo drws y porth, morwyn a ddaeth ‡ i ymwrando, a'i henw Rhode.

‡ Neu, *i ymofyn pwy oedd yno.*

14 A phan adnabu hi lais Petr, nid agorodd hi y porth gan lawenydd; eithr hi a redodd i mewn, ac a fynegodd fod Petr yn sefyll o flaen y porth.

15 Hwythau a ddywedasant wrthi, Yr wyt ti yn ynfydu. Hithau a daerodd mai felly yr oedd. Eithr hwy a ddywedasant, Ei angel ef ydyw.

16 A Phetr a barhaodd yn curo: ac wedi iddynt agori, hwy a'i gwelsant ef, ac a synnasant.

17 Ac efe [k] a amneidiodd arnynt â llaw i dewi, ac a adroddodd iddynt pa wedd y dygasai'r Arglwydd ef allan o'r carchar: ac efe a ddywedodd, Mynegwch y pethau hyn i Iago, ac i'r brodyr. Ac efe a ymadawodd, ac a aeth i le arall.

[k] Pen. 13. 16. a 19. 33. a 21. 40.

18 Ac wedi ei myned hi yn ddydd, yr oedd trallod nid bychan ym mhlith y milwŷr, pa beth a ddaethai o Petr.

19 Eithr Herod, pan ei ceisiodd ef, ac heb ei gael, a holodd y ceidwaid, ac a orchymynodd *eu* § cymmeryd *hwy* ymaith. Yntau a aeth i wared o Judea i Cesarea, ac a arhosodd *yno.*

§ *dodi hwy i farwolaeth.*

20 ¶ Eithr Herod oedd ‖ yn llidiog iawn yn erbyn gwŷr Tyrus a Sidon: a hwy a ddaethant yn gyttûn atto; ac wedi ynnill Blastus, yr hwn oedd † ystafellydd y brenhin, hwy a ddeisyfiasant dangnefedd; am fod [l] eu gwlad hwynt yn cael ei chynhaliaeth o *wlad* y brenhin.

‖ Neu, *a'i fryd ar ryfela yn erbyn.* † Gr. *ar ystafell.* [l] 1 Bren. 5. 9, 11. Esec. 27. 17.

21 Ac ar ddydd nodedig, Herod, gwedi gwisgo dillad brenhinol, a eisteddodd ar orsedd-faingc, ac a areithiodd wrthynt.

22 A'r bobl a roes floedd, Lleferydd Duw, ac nid dyn *ydyw.*

23 Ac allan o law y tarawodd angel yr Arglwydd ef, am na roisai y gogoniant i Dduw: a chan bryfed yn ei ysu, efe a drengodd.

24 ¶ A [m] gair Duw a gynnyddodd ac a amlhaodd.

[m] Esay 55. 11. Pen. 6. 7. a 19. 20. Col. 1. 6.

25 A Barnabas a Saul, wedi cyflawni *eu* [n] gweinidogaeth, a ddychwelasant o Jerusalem, [o] gan gymmeryd gyd â hwynt Ioan hefyd, yr hwn a gyfenwid Marc.

[n] Pen. 11. 29, 30. [o] Pen. 13. 5, 13.

PEN. XIII.

1 *Dewis Paul a Barnabas i fyned at y Cenhedloedd.* 7 *Sergius Paulus, ac Elymas y swynwr.* 14 *Paul yn pregethu yn Antiochia mai Iesu yw Crist.* 42 *Y Cenhedloedd yn credu;* 45 *yr Iuddewon yn gwrthwynebu, ac yn cablu:* 46 *Paul a Barnabas, ar hynny, yn troi at y Cenhedloedd.* 48 *Y rhai a drefnesid i fywyd, yn credu.*

YR oedd hefyd [a] yn yr eglwys ydoedd yn Antiochia, rai prophwydi ac athrawon; Barnabas, a Simeon, yr hwn a elwid Niger, a Lucius o Cyrene, a Manaën brawd-maeth Herod y tetrarch, a Saul.

45. [a] Pen. 14. 26.

2 Ac fel yr oeddynt hwy yn gwasanaethu'r Arglwydd, ac yn ymprydio, dywedodd yr Yspryd Glân, [b] Neillduwch i mi Barnabas a Saul, i'r gwaith [c] y gelwais hwynt iddo.

[b] Pen. 9. 15. a 22. 21. Rhuf. 1. 1. Gal. 2. 9. [c] Mat. 9. 38. Rhuf. 10. 15. Heb. 5. 4.

3 [d] Yna wedi iddynt ymprydio, a gweddïo, a dodi eu dwylaw arnynt, hwy a'u gollyngasant ymaith.

[d] Pen. 6. 6.

4 ¶ A hwythau, wedi eu danfon ymaith gan yr Yspryd Glân, a ddaethant i Seleucia; ac oddi yno a fordwyasant i Cyprus.

5 A phan oeddynt yn Salamis, hwy a bregethasant air Duw yn synagogau yr Iuddewon: ac yr oedd hefyd ganddynt [e] Ioan yn weinidog.

[e] Pen. 12. 25. a 15. 37

6 Ac wedi iddynt dramwy trwy'r ynys hyd Paphus, hwy a gawsant ryw swynwr, gau-brophwyd o Iuddew, a'i enw Bar-iesu:

7 Yr hwn oedd gyd â'r rhaglaw, Sergius Paulus, gwr call: hwn, wedi galw atto Barnabas a Saul, a ddeisyfiodd gael clywed gair Duw.

8 Eithr [f] Elymas y swynwr (canys felly y cyfieithir ei enw ef) a'u gwrthwynebodd hwynt, gan geisio gwyrdrôi y rhaglaw oddi wrth y ffydd.

[f] Exod. 7. 11. 2 Tim. 3. 8.

9 Yna Saul (yr hwn hefyd *a elwir* Paul) yn llawn o'r Yspryd Glân, a edrychodd yn graff arno ef,

10 Ac a ddywedodd, O gyflawn o bob twyll a phob ysgelerder, tydi [g] mab diafol, a gelyn pob cyfiawnder, oni pheidi di â gŵyro uniawn ffyrdd yr Arglwydd?

[g] Mat. 13. 38. Ioan 8. 44. 1 Ioan 3. 8.

11 Ac yn awr wele, y *mae* llaw yr Arglwydd arnat ti, a thi a fyddi ddall heb weled yr haul dros amser. Ac yn ddïattreg y syrthiodd arno niwlen a thywyllwch; ac efe a aeth oddi amgylch gan geisio rhai i'w arwain erbyn ei law.

12 Yna y rhaglaw, pan welodd yr hyn a wnaethid, a gredodd, gan ryfeddu wrth † ddysgeidiaeth yr Arglwydd.

† *athrawiaeth.*

13 A Phaul a'r rhai oedd gyd ag ef a aethant ymaith o Paphus, ac a ddaethant i Perga yn Pamphylia; eithr [h] Ioan a ymadawodd oddi wrthynt, ac a ddychwelodd i Jerusalem.

[h] Pen. 15. 38.

14 ¶ Eithr hwynt-hwy, wedi ymado o Perga, a ddaethant i Antiochia yn Pisidia, ac a aethant i mewn i'r synagog ar y dydd sabbath, ac a eisteddasant.

15 Ac ar ol [i] darllain y gyfraith a'r prophwydi, llywodraethwŷr y synagog a anfonasant attynt, gan ddywedyd, *Ha* wŷr frodyr, od oes gennych air o gyngor i'r bobl, traethwch.

[i] Luc 4. 16. Adn. 27.

16 Yna y cyfododd Paul i fynu, a [k] chan amneidio â'i law am osteg, a ddywedodd, *O* wŷr o Israel, a'r rhai ydych yn ofni Duw, gwrandêwch.

[k] Pen. 12. 17.

17 Duw y bobl hyn Israel a etholodd ein tadau ni, ac a ddyrchafodd y bobl, [l] pan

[l] Exod. 1. 1.

oeddynt yn ymdeithio yngwlâd yr Aipht,
[m] ac â braich uchel y dug efe hwynt oddi
yno allan.
18 Ac [n] ynghylch deugain mlynedd o amser
y goddefodd efe eu harferion hwynt yn
yr anialwch.
19 Ac wedi iddo ddinystrio saith genedl
yn nhir Canaan, [o] â choelbren y parthodd
efe dir y rhai hynny iddynt hwy.
20 [p] Ac wedi y pethau hyn, dros yspaid
ynghylch pedwar cant a deng mlynedd a
deugain, efe a roddes farnwŷr *iddynt*, hyd
Samuel y prophwyd.
21 [q] Ac ar ol hynny y dymunasant gael
brenhin: ac fe a roddes Duw iddynt Saul
fab Cis, gwr o lwyth Benjamin, ddeugain
mlynedd.
22 Ac wedi ei ddiswyddo ef, [r] y cyfododd
efe Ddafydd yn frenhin iddynt; am yr hwn
y tystiolaethodd, ac y dywedodd, [s] Cefais
Ddafydd *fab* Jesse, [t] gwr yn ol fy nghalon,
yr hwn a gyflawna fy holl ewyllys.
23 [u] O had hwn, Duw, yn ol *ei* addewid,
a gyfododd i Israel *yr* Iachawdwr Iesu:
24 [x] Gwedi i Ioan rag-bregethu o flaen
† ei ddyfodiad ef i mewn, fedydd edifeirwch
i holl bobl Israel.
25 Ac fel yr oedd Ioan yn cyflawni ei
redfa, efe a ddywedodd, [y] Pwy yr ydych
chwi yn tybied fy mod i? Nid myfi yw *efe:*
eithr wele, y mae yn dyfod ar fy ol i, yr hwn
nid wyf yn deilwng i ddattod esgidiau *ei*
draed.
26 *Ha* wŷr frodyr, plant o genedl Abraham,
a'r rhai yn eich plith sydd yn ofni
Duw, [z] i chwi y danfonwyd gair yr iachawdwriaeth
hon.
27 Canys y rhai oedd yn preswylio yn Jerusalem,
a'u tywysogion, ‡ heb adnabod
hwn, a lleferydd y prophwydi § y rhai a
ddarllenid bob sabbath, gan *ei* farnu *ef,* a'*u*
cyflawnasant.
28 [a] Ac er na chawsant *ynddo* ddim achos
angau, hwy a ddymunasant ar Pilat ei ladd
ef.
29 Ac wedi iddynt gwblhâu pob peth a'r
a 'sgrifenasid am dano ef, [b] hwy a'i disgynasant
*ef* oddi ar y pren, ac a'*i* dodasant mewn
bedd.
30 [c] Eithr Duw a'i cyfododd ef oddi wrth
y meirw.
31 [d] Yr hwn a welwyd dros ddyddiau
lawer gan y rhai a ddaethant i fynu gyd ag
ef o Galilea i Jerusalem, y rhai sydd dystion
‖ iddo wrth y bobl.
32 Ac yr ydym ni yn efangylu i chwi yr
addewid a wnaed i'r tadau, ddarfod i Dduw
gyflawni hwn i ni eu plant hwy, gan iddo
adgyfodi 'r Iesu:
33 Megis ag yr ysgrifenwyd yn yr ail
psalm, [e] Fy Mab i ydwyt ti; myfi heddyw
a'th genhedlais.
34 Ac am iddo ei gyfodi ef o'r meirw, nid
i ddychwelyd mwy i lygredigaeth, y dywedodd
fel hyn, [f] Rhoddaf i chwi sicr drugareddau
Dafydd.
35 *Ac* am hynny y mae yn dywedyd mewn
*psalm* arall, [g] † Ni adewi i'th Sanct weled
llygredigaeth.
36 Canys Dafydd, ‡ wedi iddo wasanaethu
ei genhedlaeth ei hun trwy ewyllys Duw,
[h] a hunodd, ac a ddodwyd at ei dadau, ac a
welodd lygredigaeth:
37 Eithr yr hwn a gyfododd Duw, ni welodd
lygredigaeth.
38 Am hynny bydded hyspys i chwi,

[m] Exod. 6. 6. a 13. 14, 16. [n] Exod. 16. 35. Psal. 95. 10. [o] Jos. 14. 1, 2. [p] Barn. 3. 9. [q] 1 Sam. 8. 5. a 10. 1. [r] 1 Sam. 16. 13. [s] Psal. 89. 20. [t] 1 Sam. 13. 14. [u] Esay 11. 1. [x] Mat. 3. 1. † *wyneb ei ddyfodiad.* [y] Mat. 3. 11. Luc 3. 16. Ioan 1. 20, 27. [z] Mat. 10. 6. Pen. 3. 26. Adn. 46. ‡ Pen. 3. 17. 1 Cor. 2. 8. § Pen. 15. 21. [a] Mat. 27. 22. Marc 15. 13. Luc 23. 21, 22. Ioan 19. 6. [b] Mat. 27. 59. Marc 15. 46. Luc 23. 53. Ioan 19. 38. [c] Mat. 28. 6. Pen. 2. 24. [d] Mat. 28. 16. Pen. 1. 3. 1 Cor. 15. 5, 6. ‖ *o hono.* [e] Psal. 2. 7. Heb. 1. 5. [f] Esay 55. 3. [g] Psal. 16. 10. Pen. 2. 31. † *Ni roddi dy Sanct i weled.* ‡ *wedi iddo yn ei oes ei hun wasanaethu ewyllys Duw.* [h] 1 Bren. 2. 10. Pen. 2. 29.

*ha* wŷr frodyr, mai [i] trwy hwn yr ydys yn
pregethu i chwi faddeuant pechodau:
39 A [k] thrwy hwn y cyfiawnhëir pob un
sydd yn credu, oddi wrth yr holl bethau y
rhai ni allech trwy gyfraith Moses gael eich
cyfiawnhâu oddi wrthynt.
40 Gwyliwch gan hynny na ddêl arnoch
y peth a ddywedwyd yn [l] y prophwydi;
41 Edrychwch, O ddirmygwŷr, a rhyfeddwch,
a diflennwch: canys yr wyf yn gwneuthur
gweithred yn eich dyddiau, gwaith
ni chredwch ddim, er i neb ei ddangos i
chwi.
42 ¶ A phan aeth yr Iuddewon allan o'r
synagog, y Cenhedloedd a attolygasant gael
pregethu y geiriau hyn iddynt § y sabbath
nesaf.
43 Ac wedi gollwng y gynnulleidfa, llawer
o'r Iuddewon ac o'r proselytiaid crefyddol
a ganlynasant Paul a Barnabas; y rhai
gan lefaru wrthynt, [m] a gynghorasant iddynt
aros yngrâs Duw.
44 ¶ A'r sabbath nesaf, yr holl ddinas agos
a ddaeth ynghŷd i wrando gair Duw.
45 Eithr yr Iuddewon, pan welsant y torfeydd,
a lânwyd o gynfigen, ac [n] a ddywedasant
yn erbyn y pethau a ddywedid gan
Paul, gan wrth-ddywedyd a chablu.
46 Yna Paul a Barnabas a aethant yn hŷ,
ac a ddywedasant, [o] Rhaid oedd llefaru gair
Duw wrthych chwi yn gyntaf: eithr [p] o
herwydd eich bod yn ei wrthod, ac yn eich
barnu eich hunain yn annheilwng o fywyd
tragywyddol, wele, [q] yr ydym yn troi at y
Cenhedloedd.
47 Canys felly y gorchymynodd yr Arglwydd
i ni, *gan ddywedyd,* [r] Mi a'th osodais
di yn oleuni i'r Cenhedloedd, i fod o honot
yn iachawdwriaeth hyd eithaf y ddaear.
48 A'r Cenhedloedd pan glywsant, a fu
lawen ganddynt, ac a ogoneddasant air yr
Arglwydd: a chynnifer ag oedd wedi eu
‖ hordeinio i fywyd tragywyddol, a gredasant.
49 A gair yr Arglwydd a danwyd trwy'r
holl wlad.
50 A'r Iuddewon a annogasant y gwragedd
crefyddol ac anrhydeddus, a phennaethiaid
y ddinas, ac [s] a godasant erlid yn erbyn
Paul a Barnabas, ac a'u bwriasant hwy allan
o'u terfynau.
51 [t] Eithr hwy a ysgydwasant y llwch
oddi wrth eu traed yn eu herbyn hwynt, ac
a ddaethant i Iconium.
52 A'r disgyblion a gyflawnwyd o lawenydd,
ac o'r Yspryd Glân.

[i] Luc 24. 47. 1 Ioan 2. 12. [k] Rhuf. 3. 28. a 8. 3. Heb. 7. 19. Esay 29. 14. [l] Hab. 1. 5. § Gr. *yn yr wythnos* (neu, *y sabbath) rhwng.* [m] Pen. 11. 23. a 14. 22. [n] Pen. 18. 6. 1 Petr 4. 4. [o] Mat. 10. 6. Pen. 3. 26. Rhuf. 1. 16. [p] Exod. 32. 10. Esay 55. 5. Mat. 21. 43. Rhuf. 10. 19. [q] Pen. 18. 6. a 28. 28. [r] Esay 49. 6. Luc 2. 32. ‖ Neu, *trefnu* (trwy bregethiad yr apostolion) *i fywyd.* [s] 2 Tim. 3. 11. [t] Mat. 10. 14. Pen. 18. 6.

## PEN. XIV.

1 *Erlid Paul a Barnabas allan o Iconium.* 8 *Paul yn iachâu y cloff efrydd yn Lystra: ac ar hynny y bobl yn tybied mai duwiau oeddynt hwy.* 19 *Llabyddio Paul.* 21 *Hwynt-hwy yn myned trwy fagad o eglwysi, gan gadarnhâu y disgyblion yn y ffydd, ac mewn dioddefgarwch:* 26 *ac wedi dychwelyd i Antiochia, yn mynegi yno beth a wnaethai Duw trwyddynt hwy.*

A Digwyddodd yn Iconium iddynt fyned ynghŷd i synagog yr Iuddewon, 45.
a llefaru felly, fel y credodd lliaws mawr o'r
Iuddewon ac o'r Groegwŷr hefyd.
2 Ond yr Iuddewon anghredadwy a gyffroisant
feddyliau'r Cenhedloedd, ac a'u
gwnaethant yn ddrwg yn erbyn y brodyr.
3 Am hynny hwy a arhosasant *yno* amser
mawr, gan fod yn hŷ yn yr Arglwydd, [a] yr

[a] Marc 16. 20. Heb. 2. 4.

hwn oedd yn dwyn tystiolaeth i air ei ras, ac yn cenhadu gwneuthur arwyddion a rhyfeddodau trwy eu dwylaw hwynt.

46. 4 Eithr lliaws y ddinas a rannwyd: a rhai oedd gyd â'r Iuddewon, a rhai gyd â'r apostolion.

5 A phan wnaethpwyd rhuthr gan y Cenhedloedd a'r Iuddewon, ynghŷd â'u llywodraethwŷr, [b] i'w hamherchu hwy, ac i'w llabyddio,

6 Hwythau a ddeallasant *hyn*, ac [c] a ffoisant i Lystra a Derbe, dinasoedd o Lycaonia, ac i'r wlad oddi amgylch:

7 Ac yno y buant yn efangylu.

8 ¶ Ac [d] yr oedd gwr yn eistedd yn Lystra yn ddiffrwyth ei draed, yr hwn oedd gloff o groth ei fam, ac ni rodiasai erioed.

9 Hwn a glybu Paul yn llefaru; yr hwn wrth edrych yn graff arno, a gweled fod ganddo ffydd i gael iechyd,

10 A ddywedodd â llef uchel, [e] Saf ar dy draed yn uniawn. Ac efe a neidiodd *i fynu* ac a rodiodd.

11 A phan welodd y bobloedd y peth a wnaethai Paul, hwy a godasant eu llef, gan ddywedyd yn iaith Lycaonia, [f] Y duwiau yn rhith dynion a ddisgynasant attom.

12 A hwy a alwasant Barnabas, yn Jupiter; a Phaul, yn Mercurius, oblegid efe oedd yr ymadroddwr pennaf.

13 Yna offeiriad Jupiter, yr hwn oedd o flaen eu dinas, a ddug deirw a garlantau i'r pyrth, ac a fynnasai gyd â'r bobl aberthu.

14 A'r apostolion Barnabas a Phaul, pan glywsant *hynny*, a rwygasant eu dillad, ac a neidiasant ym mhlith y bobl, gan lefain,

15 A dywedyd, *Ha* wŷr, [g] paham y gwnewch chwi y pethau hyn? [h] dynion hefyd ydym ninnau yn gorfod goddef fel chwithau, ac yn pregethu i chwi ar i chwi droi oddi wrth y pethau gweigion yma at Dduw byw, yr [i] hwn a wnaeth nef a daear, a'r môr, a'r holl bethau sydd ynddynt:

16 [k] Yr hwn yn yr oesoedd gynt a oddefodd i'r holl genhedloedd fyned yn eu ffyrdd eu hunain.

17 [l] Er hynny ni adawodd efe mo hono ei hun yn ddidyst, gan wneuthur daioni, a rhoddi gwlaw o'r nefoedd i ni, a thymhorau ffrwythlon, a llenwi ein calonnau ni â lluniaeth ac â llawenydd.

18 Ac er dywedyd y pethau hyn, braidd yr attaliasant y bobl rhag aberthu iddynt.

19 ¶ A daeth yno Iuddewon o Antiochia ac Iconium, a hwy a berswadiasant y bobl; [m] ac wedi llabyddio Paul, a'i llusgasant *ef* allan o'r ddinas, gan dybied ei fod ef wedi marw.

20 Ac fel yr oedd y disgyblion yn sefyll o'i amgylch, efe a gyfododd, ac a aeth i'r ddinas: a thrannoeth efe a aeth allan, *efe* a Barnabas, i Dderbe.

21 Ac wedi iddynt bregethu'r efengyl i'r ddinas honno, † ac ynnill llawer o ddisgyblion, hwy a ddychwelasant i Lystra, ac Iconium, ac Antiochia,

22 Gan gadarnhâu eneidiau y disgyblion, [n] *a'u* cynghori i aros yn y ffydd, ac [o] mai trwy lawer o orthrymderau y mae'n rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw.

23 Ac wedi [p] ordeinio iddynt henuriaid ym mhob eglwys, a gweddïo gyd ag ymprydiau, hwy a'u gorchymynasant hwynt i'r Arglwydd, yr hwn y credasent ynddo.

24 Ac wedi iddynt dramwy trwy Pisidia, hwy a ddaethant i Pamphylia.

[b] 2 Tim. 3. 11. [c] Mat. 10. 23. [d] Pen. 3. 2. [e] Esay 35. 6. [f] Pen. 28. 6. [g] Pen. 10. 26. [h] Iago 5. 17. [i] Gen. 1. 1. Psal. 33. 6. a 146. 6. Dat. 14. 7. [k] Psal. 81. 12. Pen. 17. 30. [l] Rhuf. 1. 20. [m] 2 Cor. 11. 25. 2 Tim. 3. 11. † *a dysgu llawer, hwy, &c.* [n] Pen. 11. 23. a 13. 43. [o] Luc 22. 28, 29. Rhuf. 8. 17. 2 Tim. 2. 11. a 3. 12. [p] Tit. 1. 5.

25 Ac wedi pregethu'r gair yn Perga, hwy a ddaethant i wared i Attalia:

26 Ac oddi yno a fordwyasant i Antiochia, [q] o'r lle yr oeddynt wedi eu gorchymyn i ras Duw i'r gorchwyl a gyflawnasant.

27 Ac wedi iddynt ddyfod a chynnull yr eglwys ynghŷd, [r] adrodd a wnaethant faint o bethau a wnaethai Duw gyd â hwy, ac iddo ef [s] agoryd i'r Cenhedloedd ddrws y ffydd.

28 Ac yno yr arhosasant hwy dros hir o amser gyd â'r disgyblion.

[q] Pen. 13. 1, 3. [r] Pen. 15. 4, 12. [s] 1 Cor. 16. 9. 2 Cor. 2. 12.

## PEN. XV.

1 *Ymryson mawr yn cyfodi ynghylch yr enwaediad: 6 yr apostolion yn ymgynghori ynghylch hynny; 22 ac yn anfon eu meddwl trwy lythyrau at yr eglwysi. 36 Paul a Barnabas, wedi bwriadu myned i ymweled â'r brodyr, yn ymrafaelio, ac yn ymadael â'u gilydd.*

A Rhai wedi dyfod i wared o Judea, a ddysgasant y brodyr, *gan ddywedyd*, [a] Onid enwaedir chwi [b] yn ol defod Moses, ni ellwch fod yn gadwedig. 51.

2 *A* phan ydoedd ymryson a dadleu nid bychan gan Paul a Barnabas yn eu herbyn, hwy a ordeiniasant fyned o [c] Paul a Barnabas, a rhai eraill o honynt, i fynu i Jerusalem, at yr apostolion a'r henuriaid, ynghylch y cwestiwn yma.

52. 3 Ac wedi eu hebrwng gan yr eglwys, hwy a dramwyasant trwy Phenice a Samaria, gan fynegi troad y Cenhedloedd. A hwy a barasant lawenydd mawr i'r brodyr oll.

4 Ac wedi eu dyfod hwy i Jerusalem, hwy a dderbyniwyd gan yr eglwys, a *chan* yr apostolion, a *chan* yr henuriaid; a [d] hwy a fynegasant yr holl bethau a wnaethai Duw gyd â hwynt.

5 Eithr cyfododd † rhai o sect y Phariseaid y rhai oedd yn credu, gan ddywedyd, Mai rhaid iddynt eu henwaedu, a gorchymyn cadw deddf Moses.

6 ¶ A'r apostolion a'r henuriaid a ddaethant ynghŷd i edrych am y matter yma.

7 Ac wedi bod ymddadleu mawr, cyfododd Petr ac a ddywedodd wrthynt, *Ha* wŷr frodyr, chwi 'a wyddoch ddarfod i [e] Dduw er ys talm o amser yn ein plith ni fy ethol i, i gael o'r Cenhedloedd trwy fy ngenau i glywed gair yr efengyl, a chredu.

8 A Duw, [f] adnabyddwr calonnau, a ddug dystiolaeth iddynt, [g] gan roddi iddynt yr Yspryd Glân, megis ag i ninnau:

9 Ac ni wnaeth *efe* ddim gwahaniaeth rhyngom ni a hwynt, [h] gan buro eu calonnau hwy trwy ffydd.

10 Yn awr gan hynny paham yr ydych chwi yn temtio Duw, [i] i ddodi iau ar warrau'r disgyblion, yr hon nid allai ein tadau ni na ninnau ei dwyn?

11 [k] Eithr trwy ras yr Arglwydd Iesu Grist, yr ydym ni yn credu ein bod yn gadwedig yr un modd a hwythau.

12 ¶ A'r holl liaws a ddistawodd, ac a wrandawodd ar Barnabas a Phaul, yn mynegi pa arwyddion a rhyfeddodau *eu maint* a wnaethai Duw ym mhlith y Cenhedloedd trwyddynt hwy.

13 ¶ Ac wedi iddynt ddistewi, attebodd Iago, gan ddywedyd, *Ha* wŷr frodyr, gwrandêwch arnaf fi.

14 Simeon a fynegodd pa wedd yr ymwelodd Duw ar y cyntaf, i gymmeryd o'r Cenhedloedd bobl i'w enw.

15 Ac â hyn y cyttuna geiriau y prophwydi; megis y mae yn ysgrifenedig,

[a] Gal. 5. 2. Phil. 3. 2. Col. 2. 8, 11, 16. [b] Gen. 17. 10. Lef. 12. 3. [c] Gal. 2. 1. [d] Pen. 14. 27. Adn. 12. † *eb hwynt, rai, &c.* [e] Pen. 10. 20. a 11. 12. [f] 1 Chron. 28. 9. Pen. 1. 24. [g] Pen. 10. 44. [h] Pen. 10. 43. [i] Cor. 1. 2. 1 Petr 1. 22. [i] Mat. 23. 4. Gal. 5. 1. [k] Eph. 2. 8. Tit. 3. 4.

16 [l] Ar ol hyn y dychwelaf, ac yr adeiladaf drachefn dabernacl Dafydd, yr hwn sydd wedi syrthio; a'i fylchau ef a adeiladaf drachefn, ac a'i cyfodaf eilchwyl:

17 Fel y byddo i hyn a weddiller o ddynion geisio 'r Arglwydd, ac i 'r holl Genhedloedd, y rhai y gelwir fy enw i arnynt, medd yr Arglwydd, yr hwn sydd yn gwneuthur yr holl bethau hyn.

18 Hyspys i Dduw yw ei weithredoedd oll erioed.

19 O herwydd paham [m] fy marn i yw, na flinom y rhai o'r Cenhedloedd a droisant at Dduw:

20 Eithr ysgrifenu o honom ni attynt, ar ymgadw o honynt [n] oddi wrth halogrwydd delwau, a [o] godineb, ac [p] *oddi wrth* y peth a dagwyd, ac *oddi wrth* waed.

21 Canys y mae i Moses ym mhob dinas, er yr hen amseroedd, rai a'i pregethant ef, [q] gan fod yn ei ddarllain yn y synagogau bob sabbath.

22 Yna y gwelwyd yn dda gan yr apostolion a'r henuriaid, ynghŷd â'r holl eglwys, anfon gwŷr etholedig o honynt eu hunain, i Antiochia, gyd â Phaul a Barnabas; *sef* Judas a gyfenwir Barsabas, a Silas, gwŷr rhagorol ym mhlith y brodyr:

23 A *hwy* a 'sgrifenasant gyd â hwynt fel hyn; Yr apostolion, a'r henuriaid, a'r brodyr, at y brodyr y rhai sy o'r Cenhedloedd yn Antiochia, a Syria, a Cilicia, yn anfon annerch.

24 Yn gymmaint a chlywed o honom ni, i rai a aethant allan oddi wrthym ni eich trallodi chwi â geiriau, gan ddymchwelyd eich eneidiau chwi, a dywedyd *fod* yn rhaid enwaedu arnoch, a chadw 'r ddeddf; i'r rhai ni roisem ni *gyfryw* orchymyn:

25 Ni a welsom yn dda, wedi i ni ymgynnull yn gyttûn, anfon gwŷr etholedig attoch, gyd â'n hanwylyd Barnabas a Phaul;

26 [r] Gwŷr a roisant eu heneidiau dros enw ein Harglwydd ni Iesu Grist.

27 Ni a anfonasom gan hynny Judas a Silas; a hwythau ar † air a fynegant i *chwi* yr un pethau.

28 Canys gwelwyd yn dda gan yr Yspryd Glân, a chennym ninnau, na ddodid arnoch faich ychwaneg nâ'r pethau angenrheidiol hyn:

29 [s] Bod i chwi ymgadw oddi wrth yr hyn a aberthwyd i eilunod, a [t] gwaed, ac oddi wrth y peth a dagwyd, ac oddi wrth odineb: oddi wrth yr hyn bethau os ymgedwch, da y gwnewch. Byddwch iach.

30 Felly wedi eu gollwng hwynt ymaith, hwy a ddaethant i Antiochia: ac wedi cynnull y lliaws ynghŷd, hwy a roisant y llythyr.

31 Ac wedi iddynt *ei* ddarllain, llawenychu a wnaethant am y ‡ diddanwch.

32 Judas hefyd a Silas, a hwythau yn brophwydi, trwy lawer o ymadrodd a ddiddanasant y brodyr, ac a'u cadarnhasant.

33 Ac wedi iddynt aros *yno* dros amser, hwy a ollyngwyd ymaith mewn heddwch, gan y brodyr, at yr apostolion.

34 Eithr gwelodd Silas yn dda aros yno.

35 A Phaul a Barnabas a arhosasant yn Antiochia, gan ddysgu ac efangylu gair yr Arglwydd, gyd â llawer eraill hefyd.

53 36 ¶ Ac wedi rhai dyddiau, dywedodd Paul wrth Barnabas, Dychwelwn ac ymwelwn â'n brodyr, ym mhob dinas y pregethasom air yr Arglwydd ynddynt, *i weled* pa fodd y maent hwy.

[l] Amos 9. 11, 12.
[m] Edrych adn. 28
[n] Exod. 20. 3. 1 Cor. 8. 1. a 10. 20.
[o] 1 Thess. 4. 3.
[p] Gen. 9. 4. Lef. 3. 17.
[q] Pen. 13. 15, 27.
[r] Pen. 13. 50. a 14. 19.
† *enau.*
[s] Pen. 21. 25.
[t] Lef. 17. 14.
‡ Neu, *cyngor.*

37 A Barnabas a gynghorodd gymmeryd gyd â hwynt [u] Ioan, yr hwn a gyfenwid Marc.

38 Ond ni welai Paul yn addas gymmeryd hwnnw gyd â hwynt, [x] yr hwn a ddynnasai oddi wrthynt o Pamphylia, ac nid aethai gyd â hwynt i'r gwaith.

39 A bu gymmaint cynnwrf *rhyngddynt,* fel yr ymadawsant oddi wrth eu gilydd; ac y cymmerth Barnabas Marc gyd ag ef, ac y mordwyodd i Cyprus:

40 Eithr Paul a ddewisodd Silas, ac a aeth ymaith, [y] wedi ei orchymyn i ras Duw gan y brodyr.

41 Ac efe a dramwyodd trwy Syria a Cilicia, gan [z] gadarnhâu yr eglwysi.

## PEN. XVI.

1 *Paul, wedi enwaedu ar Timotheus,* 7 *ac wedi ei alw gan yr Yspryd,* 14 *yn troi Lydia:* 16 *yn bwrw allan yspryd dewiniaeth;* 19 *ac am hynny Silas ac yntau yn cael eu fflan-gellu, a'u carcharu:* 26 *egoryd drysau y carchar:* 31 *troi ceidwad y carchar,* 37 *a'u gwaredu hwythau.*

YNA y daeth efe i [a] Dderbe ac i Lystra. 53.
Ac wele, yr oedd yno ryw ddisgybl, [b] a'i enw Timotheus, [c] mab i ryw wraig yr hon oedd Iuddewes, ac yn credu; a'i dad *oedd* Roegwr:

2 Yr hwn [d] oedd yn cael gair da gan y brodyr oedd yn Lystra, ac *yn* Iconium.

3 Paul a fynnai i hwn fyned allan gyd ag ef; ac *efe* [e] a'i cymmerth ac a'i henwaedodd ef, o achos yr Iuddewon oedd yn y lleoedd hynny: canys hwy a wyddent bawb mai Groegwr oedd ei dad ef.

4 Ac fel yr oeddynt yn ymdaith trwy 'r dinasoedd, hwy † a roisant arnynt gadw y gorchymynion [f] a ordeiniesid gan yr apostolion a'r henuriaid y rhai oedd yn Jerusalem.

5 Ac felly 'r eglwysi a gadarnhawyd yn y ffydd, ac a gynnyddasant mewn rhifedi beunydd.

6 Ac wedi iddynt dramwy trwy Phrygia, a gwlad Galatia, a gwarafun iddynt gan yr Yspryd Glân bregethu y gair yn Asia;

7 Pan ddaethant i Mysia, hwy a geisiasant fyned i Bithynia: ac ni oddefodd Yspryd yr Iesu iddynt.

8 Ac wedi myned heibio i Mysia, [g] hwy a aethant i wared i Troas.

9 A gweledigaeth a ymddangosodd i Paul liw nos: Rhyw wr o Macedonia a safai, ac a ddeisyfiai arno, ac a ddywedai, Tyred drosodd i Macedonia, a chymmorth ni.

10 A phan welodd efe y weledigaeth, yn ebrwydd ni a geisiasom fyned i Macedonia; gan gwbl-gredu alw o'r Arglwydd nyni i efangylu iddynt hwy.

11 Am hynny, wedi myned ymaith o Troas, ni a gyrchasom yn uniawn i Samothracia; a thrannoeth i Neapolis:

12 Ac oddi yno i Philippi, yr hon ‡ sydd brif-ddinas o barth o Macedonia, dinas rŷdd: ac ni a fuom yn aros yn y ddinas honno ddyddiau rai.

13 Ac ar y dydd sabbath ni a aethom allan o'r ddinas i lan afon, lle y byddid arferol o weddïo; ac ni a eisteddasom, ac a lefarasom wrth y gwragedd a ddaethant ynghŷd.

14 ¶ A rhyw wraig a'i henw Lydia, un yn gwerthu porphor, o ddinas y Thyatiriaid, yr hon oedd yn addoli Duw, a wrandawodd; yr hon yr agorodd yr Arglwydd [h] ei chalon, i ddal ar y pethau a leferid gan Paul.

[u] Pen. 12. 12, 25. a 13. 5. Col. 4, 10. 2 Tim. 4. 11. Philem. 24.
[x] Pen. 13. 13.
[y] Pen. 14. 26.
[z] Pen. 16. 5.
[a] Pen. 14. 6.
[b] Rhuf. 16. 21. Phil. 2. 19. 1 Thess. 3. 2.
[c] 2 Tim. 1. 5.
[d] Pen. 6. 3.
[e] 1 Cor. 9. 20. Gal. 2. 3. Edrych Gal. 5. 2.
† *a draddodasant iddynt.*
[f] Pen. 15. 28, 29.
[g] 2 Cor. 2. 12.
‡ *yw y ddinas gyntaf.*
[h] Luc 24. 45.

15 Ac wedi ei bedyddio hi a'i theulu, hi
a ddymunodd *arnom*, gan ddywedyd, Os
barnasoch fy mod i yn ffyddlawn i'r Ar-
glwydd, deuwch i mewn i'm tŷ, ac arhoswch
*yno*. A [i] hi a'n cymhellodd ni. [i Gen. 19. 3. a 33. 11. Barn. 19. 21. Luc 24. 29. Heb. 13. 2.]
16 ¶ A digwyddodd, a ni yn myned i
weddïo, i ryw langces, yr hon [k] oedd ganddi
yspryd * dewiniaeth, gyfarfod â ni; yr hon
oedd yn peri [l] llawer o elw i'w meistraid,
wrth ddywedyd dewiniaeth. [k 1 Sam. 28. 7.] [* Neu, *Python.*]
17 Hon a ddilynodd Paul a ninnau, ac a
lefodd, gan ddywedyd, Y dynion hyn ydynt
weision y Duw goruchaf, y rhai sydd yn
mynegi i chwi ffordd iachawdwriaeth. [l Pen. 19. 24.]
18 A hyn a wnaeth hi dros ddyddiau la-
wer. Eithr Paul [m] yn flin ganddo, a drodd,
ac a ddywedodd wrth yr yspryd, Yr ydwyf
yn gorchymyn i ti, yn enw Iesu Grist, fyned
allan o honi. [n] Ac efe a aeth allan yr awr
honno. [m Edrych Marc 1. 25, 34.] [n Marc 16. 17.]
19 ¶ A phan welodd ei meistraid hi fyned
gobaith eu helw hwynt ymaith, [o] hwy a
ddaliasant Paul a Silas, ac a'u llusgasant
*hwy* i'r ‡ farchnadfa, at y llywodraethwŷr; [o 2 Cor. 6. 5.] [‡ *dadleudy.*]
20 Ac a'u dygasant hwy at y swyddo-
gion, ac a ddywedasant, Y mae'r dynion
hyn, y rhai ydynt Iuddewon, [p] yn llwyr-gy-
thryblio ein dinas ni, [p 1 Bren. 18. 17. Pen. 17. 6.]
21 Ac yn dysgu defodau y rhai nid ydyw
rŷdd i ni eu derbyn, na'u gwneuthur, y
rhai ydym Rufeinwŷr.
22 A'r dyrfa a safodd i fynu ynghŷd yn
eu herbyn hwy; a'r swyddogion, gan rwygo
eu dillad, [q] a orchymynasant *eu* curo *hwy* â
gwïail. [q 2 Cor. 11. 25. 1 Thess. 2. 2.]
23 Ac wedi rhoddi gwïalennodiau lawer
iddynt, hwy a'u taflasant i garchar; gan
orchymyn i geidwad y carchar eu cadw hwy
yn ddïogel.
24 Yr hwn, wedi derbyn y cyfryw or-
chymyn, a'u bwriodd hwy i'r carchar ne-
saf i mewn, ac a wnaeth eu traed hwy yn
sicr yn y cyffion.
25 ¶ Ac ar hanner nos Paul a Silas oedd
yn gweddïo, ac yn canu § mawl i Dduw:
a'r carcharorion a'u clywsant hwy. [§ *emyn.*]
26 [r] Ac yn ddisymmwth y bu daear-gryn
mawr, hyd oni siglwyd seiliau'r carchar: ac
yn ebrwydd [s] yr holl ddrysau a agorwyd, a
rhwymau pawb a aethant yn rhyddion. [r Pen. 4. 31.] [s Pen. 5. 19. a 12. 7.]
27 A phan ddeffrôdd ceidwad y carchar,
a chanfod drysau'r carchar yn agored, efe a
dynnodd ei gleddyf, ac a amcanodd ei ladd
ei hun; gan dybied ffoi o'r carcharorion
ymaith.
28 Eithr Paul a lefodd â llef uchel, gan
ddywedyd, Na wna i ti dy hun ddim ni-
weid; canys yr ydym ni yma oll.
29 Ac wedi galw am oleu, efe a ruthrodd
i mewn, ac yn ddychrynedig efe a syrthiodd
i lawr ger bron Paul a Silas,
30 Ac a'u dug hwynt allan, ac a ddywe-
dodd, [t] O feistraid, beth sydd raid i mi ei
wneuthur, fel y byddwyf gadwedig? [t Luc 3. 10. Pen. 2. 37. a 9. 6.]
31 A hwy a ddywedasant, [u] Cred yn yr
Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi, ti
a'th deulu. [u Ioan 3. 16, 36. a 6. 47. 1 Ioan 5. 10.]
32 A hwy a draethasant iddo air yr Ar-
glwydd, ac i bawb oedd yn ei dŷ ef.
33 Ac efe a'u cymmerth hwy yr awr
honno o'r nos, ac a olchodd *eu* briwiau; ac
efe a fedyddiwyd, a'r eiddo oll, yn y man.
34 Ac wedi iddo eu dwyn hwynt i'w dŷ,
[x] efe a osododd fwyd ger eu bron hwy, ac a
fu lawen, gan gredu i Dduw, efe a'i holl
deulu. [x Luc 5. 29. a 19. 6.]
35 A phan aeth hi yn ddydd, y swyddog-
ion a anfonasant y ceisiaid, gan ddywedyd,
Gollwng ymaith y dynion hynny.
36 A cheidwad y carchar a fynegodd y
geiriau hyn wrth Paul, Y swyddogion a an-
fonasant i'ch gollwng chwi ymaith: yn awr
gan hynny cerddwch ymaith; ewch mewn
heddwch.
37 Eithr Paul a ddywedodd wrthynt, We-
di iddynt ein curo yn gyhoedd heb ein bar-
nu, [y] a ninnau yn Rhufeinwŷr, hwy a'n [y Pen. 22. 25.]
bwriasant ni i garchar; ac yn awr a ydynt
hwy yn ein bwrw ni allan yn ddirgel? nid
felly; ond deuant hwy eu hunain, a dygant
ni allan.
38 A'r ceisiaid a fynegasant y geiriau hyn
i'r swyddogion. A hwy a ofnasant, pan
glywsant mai Rhufeiniaid oeddynt.
39 A hwy a ddaethant ac a attolygasant
arnynt, ac a'u dygasant allan, ac [z] a ddei- [z Mat. 8. 34.]
syfiasant arnynt fyned allan o'r ddinas.
40 Ac wedi myned allan o'r carchar, hwy
[a] a aethant i mewn at Lydia: ac wedi gwe- [a Adn. 14.]
led y brodyr, hwy a'u cysurasant, ac a yma-
dawsant.

## PEN. XVII.

1 *Paul yn pregethu yn Thessalonica:* 4 *lle y
mae rhai yn credu, ac eraill yn ei erlid ef.*
10 *Ei anfon ef i Berea, ac yntau yn prege-
thu yno;* 13 *ac wedi ei erlid yn Thessalo-
nica,* 15 *yn dyfod i Athen; ac yno yn ym-
resymmu, ac yn pregethu iddynt hwy y
Duw byw, yr hwn nid adwaenent:* 34 *ac
wrth hynny bagad yn troi at Grist.*

GWEDI iddynt dramwy trwy Amphi- 53.
polis ac Apolonia, hwy a ddaethant i
Thessalonica, lle yr oedd synagog i'r Iud-
dewon.
2 A Phaul, yn ol ei arfer, a aeth i mewn
attynt, a thros dri sabbath a ymresymmodd
â hwynt allan o'r ysgrythyrau,
3 Gan egluro a dodi ger eu bronnau, [a] mai [a Luc 24. 26, 46.]
rhaid oedd i Grist ddioddef, a chyfodi oddi
wrth y meirw: ac mai hwn yw y Crist Iesu,
yr hwn † yr wyf fi yn ei bregethu i chwi. [† *eb efe, yr, &c.*]
4 [b] A rhai o honynt a gredasant, ac a [b Pen. 28. 24.]
ymwasgasant â Phaul a Silas, ac o'r Groeg-
wŷr crefyddol liaws mawr, ac o'r gwragedd
pennaf nid ychydig.
5 ¶ Eithr yr Iuddewon y rhai oedd heb
gredu, gan gynfigennu, a gymmerasant at-
tynt ryw ddynion drwg o grwydriaid; ac
wedi casglu tyrfa, hwy a wnaethant gyffro
yn y ddinas, ac a osodasant ar dŷ Jason, ac
a geisiasant eu dwyn hwynt allan at y bobl.
6 A phan na chawsant hwynt, hwy a lus-
gasant Jason, a rhai o'r brodyr, at bennae-
thiaid y ddinas, gan lefain, [c] Y rhai sydd [c Pen. 16. 20.]
yn aflonyddu'r byd, *y rhai hynny* a ddae-
thant yma hefyd;
7 Y rhai a dderbyniodd Jason: ac y mae
y rhai hyn oll yn gwneuthur yn erbyn or-
deiniadau Cesar, [d] gan ddywedyd fod bre- [d Luc 23. 2. Ioan 19. 12.]
nhin arall, *sef* Iesu.
8 A hwy a gyffroisant y dyrfa, a llywod-
raethwŷr y ddinas hefyd, wrth glywed y pe-
thau hyn.
9 Ac wedi iddynt ‡ gael § sicrwydd gan [‡ *dderbyn.*]
Jason a'r lleill, hwy a'u gollyngasant hwynt [§ *boddlonrwydd.*]
ymaith.
10 ¶ [e] A'r brodyr yn ebrwydd o hŷd nos [e Pen. 9. 25.]
a anfonasant Paul a Silas i Berea: y rhai
wedi eu dyfod *yno*, a aethant i synagog yr
Iuddewon.
11 Y rhai hyn oedd foneddigeiddiach
nâ'r rhai oedd yn Thessalonica, y rhai a

dderbyniasant y gair gyd â phob parod-
[f] Esay 34. 16. Luc 16. 19. Ioan 5. 39. rwydd meddwl, [f] gan chwilio beunydd yr
ysgrythyrau, a oedd y pethau hyn felly.
12 Felly llawer o honynt a gredasant,
ac o'r Groegesau parchedig, ac o wŷr nid
ychydig.
13 A phan wybu yr Iuddewon o Thessa-
lonica fod gair Duw yn ei bregethu gan
Paul yn Berea hefyd, hwy a ddaethant yno
hefyd, gan gyffrôi'r dyrfa.
14 Ac yna yn ebrwydd y brodyr a anfon-
asant Paul ymaith, i fyned megis i'r môr:
ond Silas a Thimothëus a arhosasant yno.
15 A chyfarwyddwŷr Paul a'i dygasant ef
[g] Pen. 18. 5. hyd Athen: ac [g] wedi derbyn gorchymyn
at Silas a Thimothëus, ar iddynt ddyfod atto
ar ffrwst, hwy a aethant ymaith.
54. 16 ¶ A thra 'r ydoedd Paul yn aros am
danynt yn Athen, ei yspryd a gynhyrfwyd
† *yn llawn eilunod.* ynddo, wrth weled y ddinas † wedi ymroi
i eilunod.
17 O herwydd hynny yr ymresymmodd
efe yn y synagog â'r Iuddewon, ac â'r rhai
crefyddol, ac yn y farchnad beunydd â'r
rhai a gyfarfyddent ag ef.
18 A rhai o'r philosophyddion o'r Epi-
curiaid, ac o'r Stoiciaid, a ymddadleuasant
ag ef: a rhai a ddywedasant, Beth a fynnai
‡ *hauwr geiriau.* y ‡ siaradwr hwn ei ddywedyd? a rhai,
Tebyg yw ei fod ef yn mynegi duwiau
dïeithr: am ei fod yn pregethu yr Iesu, a'r
adgyfodiad, iddynt.
19 A hwy a'i daliasant ef, ac a'i dygasant
§ Sef, *Bryn Mawrth,* neu, *Mars.* Y llys uchaf yn Athen ydoedd. i § Areopagus, gan ddywedyd, A allwn ni
gael gwybod beth *yw* y ddysg newydd hon,
a draethir gennyt?
20 Oblegid yr wyt ti yn dwyn rhyw
bethau dïeithr i'n clustiau ni: am hynny
ni a fynnem wybod beth a allai y pethau
hyn fod.
21 (A'r holl Atheniaid, a'r dïeithriaid y
rhai oedd yn ymdeithio yno, nid oeddynt
yn cymmeryd hamdden i ddim arall, ond i
ddywedyd neu i glywed rhyw newydd)
‖ Neu, *llys yr Areopagiaid.* 22 ¶ Yna y safodd Paul ynghanol ‖ Are-
opagus, ac a ddywedodd, *Ha* wŷr Athen-
iaid, mi a'ch gwelaf chwi ym mhob peth yn
dra choel-grefyddol.
23 Canys wrth ddyfod heibio, ac edrych
* Neu, *eich duwiau a addolwch,* 2 Thess. 2. 4. ar † eich defosiynau, mi a gefais allor yn
yr hon yr ysgrifenasid, I'R DUW NID
ADWAENIR. Yr hwn gan hynny yr
ydych chwi heb ei adnabod yn ei addoli,
hwnnw yr wyf fi yn ei fynegi i chwi.
[h] Pen. 14. 15. 24 [h] Y Duw a wnaeth y byd, a phob peth
sydd ynddo, gan ei fod yn Arglwydd nef
[i] Pen. 7. 48. a daear, [i] nid yw yn trigo mewn temlau o
waith dwylaw:
25 Ac nid â dwylaw dynion y gwasa-
[k] Psal. 50. 8. naethir ef, [k] fel pe bai arno eisiau dim;
[l] Gen. 2. 7. [l] gan ei fod efe yn rhoddi i bawb fywyd, ac
anadl, a phob peth oll.
26 Ac *efe* a wnaeth o un gwaed, bob
cenedl o ddynion, i breswylio ar holl wyneb
y ddaear, ac a bennodd yr amseroedd rhag-
[m] Deut. 32. 8. osodedig, a [m] therfynau eu preswylfod
hwynt;
[n] Rhuf. 1. 20. 27 [n] Fel y ceisient yr Arglwydd, os
gallent ymbalfalu am dano ef, a'i gael, er
[o] Col. 1. 17. Heb. 1. 3. nad yw efe yn ddïau neppell oddi wrth bob
un o honom:
28 Oblegid [o] ynddo ef yr ydym ni yn
[p] Tit. 1. 12. byw, yn symmud, ac yn bod; [p] megis
‡ Neu, *prydyddion, neu, beirdd.* y dywedodd rhai o'ch ‡ poëtau chwi eich
hunain. Canys ei hiliogaeth ef hefyd ydym
ni.

29 Gan ein bod ni gan hynny yn hiliog-
aeth Duw, [q] ni ddylem ni dybied fod y Duw- [q] Esay 40. 18.
dod yn debyg i aur, neu arian, neu faen, o
gerfiad celfyddyd a dychymmyg dyn.
30 [r] A Duw, wedi esgeuluso amseroedd [r] Pen. 14. 16.
yr anwybodaeth hon, sydd [s] yr awrhon Rhuf. 3. 25.
yn gorchymyn i bob dyn ym mhob man [s] Luc 24. 47.
edifarhâu:
31 O herwydd iddo osod diwrnod yn yr [t] Pen. 10. 42.
hwn [t] y barna efe y byd mewn cyfiawnder,
trwy y gwr a ordeiniodd efe; gan roddi Rhuf. 2. 16.
§ ffydd i bawb, o herwydd [u] darfod iddo ei § *sicrwydd.*
gyfodi ef oddi wrth y meirw.
32 ¶ A phan glywsant son am adgyfod- [u] Pen. 2. 24.
iad y meirw, rhai a watwarasant; a rhai a
ddywedasant, Ni a'th wrandawn drachefn
am y peth hwn.
33 Ac felly Paul a aeth allan o'u plith
hwynt.
34 Eithr rhai gwŷr a lynasant wrtho, ac
a gredasant: ym mhlith y rhai *yr oedd* Di-
onysius yr Areopagiad, a gwraig a'i henw
Damaris, ac eraill gyd â hwynt.

## PEN. XVIII.

1 *Paul yn gweithio â'i ddwylaw, ac yn pre-
gethu yn Corinth i'r Cenhedloedd.* 9 *Yr Ar-
glwydd yn ei gysuro ef trwy weledigaeth.*
12 *Achwyn arno ef ger bron Gàlio y rhag-
law: yntau yn cael ei ollwng ymaith;* 18
*ac wedi hynny yn tramwy o ddinas i ddinas,
ac yn nerthu'r disgyblion.* 24 *Apòlos, wedi ei
ddysgu yn fanylach gan Acwila a Phriscila,*
28 *yn pregethu Crist gyd â nerth mawr.*

AR ol y pethau hyn, Paul a ymadawodd 54.
ag Athen, ac a ddaeth i Corinth.
2 Ac wedi iddo gael rhyw Iuddew a'i
enw [a] Acwila, un o Pontus o genedl, wedi [a] Rhuf. 16. 3.
dyfod yn hwyr o'r Ital, a'i wraig Priscila 1 Cor. 16. 19.
(am orchymyn o Claudius i'r Iuddewon
oll fyned allan o Rufain) efe a ddaeth at-
tynt.
3 Ac, o herwydd ei fod o'r un gelfyddyd,
efe a arhoes gyd â hwynt, ac [b] a weithiodd [b] Pen. 20. 34.
(canys gwneuthurwŷr pebyll oeddynt wrth 1 Cor. 4. 12.
eu celfyddyd)
4 Ac efe a ymresymmodd yn y synagog 1 Thess. 2. 9.
bob sabbath, ac a † gynghorodd yr Iu- 2 Thess. 3. 8.
ddewon, a'r Groegiaid.
5 A phan ddaeth [c] Silas a Thimothëus o † *berswadiodd.*
Macedonia, bu gyfyng ar Paul yn yr ys-
pryd, ac *efe* a dystiolaethodd i'r Iuddewon, [c] Pen. 17. 14, 15.
mai Iesu ‡ oedd Crist. ‡ *ydyw'r Crist.*
6 A [d] hwythau gwedi ymosod yn ei er-
byn, a chablu, [e] efe a ysgydwodd *ei* ddillad, [d] Pen. 13. 45.
ac a ddywedodd wrthynt, [f] *Bydded* eich
gwaed chwi ar eich pennau eich hunain; 1 Petr 4. 4.
[g] glân *ydwyf* fi: o hyn allan mi a af at y [e] 2 Sam. 1. 16.
Cenhedloedd. Neh. 5. 13.
7 ¶ Ac wedi myned oddi yno, efe a Mat. 10. 14.
ddaeth i dŷ un a'i enw Justus, *un* oedd yn Pen. 13. 51.
addoli Duw, tŷ yr hwn oedd yn cyffwrdd [f] Ezec. 18. 13.
â'r synagog.
8 [h] A Chrispus yr arch-synagogydd a gred- [g] Ezec. 3. 18, 19.
odd yn yr Arglwydd, a'i holl dŷ: a llawer Pen. 20. 26.
o'r Corinthiaid, wrth wrando, a gredasant, [h] 1 Cor. 1. 14.
ac a fedyddiwyd.
9 [i] A'r Arglwydd a ddywedodd wrth [i] Pen. 23. 11.
Paul trwy weledigaeth liw nos, Nac ofna;
eithr llefara, ac na thaw:
10 Canys yr wyf fi gyd â thi, ac ni esyd neb
arnat, i wneuthur niweid i ti: o herwydd
y mae i mi bobl lawer yn y ddinas hon.
11 Ac efe a § arhoes *yno* flwyddyn a § Gr. *eisteddodd.*
chwe mis, yn dysgu gair Duw yn eu plith
hwynt.

55. 12 ¶ A phan oedd Gâlio yn rhaglaw yn
Achaia, cyfododd yr Iuddewon yn unfryd
yn erbyn Paul, ac a'i dygasant ef i'r frawdle,
13 Gan ddywedyd, Y mae hwn yn annog
dynion i addoli Duw yn erbyn y ddeddf.
14 Ac fel yr oedd Paul yn amcanu agoryd
ei enau, dywedodd Gâlio wrth yr Iuddew-
k Pen. 25. on, [k] Pe buasai gam, neu ddrwg weithred,
11. O Iuddewon, wrth reswm myfi a gyd-ddy-
gaswn â chwi:
15 Eithr os y cwestiwn sydd am ymad-
rodd, ac enwau, a'r ddeddf sydd yn eich
plith chwi, edrychwch eich hunain; canys
ni fyddaf fi farnwr am y pethau hyn.
16 Ac efe a'u gyrrodd hwynt oddi wrth y
frawdle.
l 1 Cor. 1. 17 A'r holl Roegwŷr a gymmerasant [l] Sos-
1. thenes yr arch-synagogydd, ac a'i curasant
o flaen y frawdle. Ac nid oedd Gâlio yn
gofalu am ddim o'r pethau hynny.
18 ¶ Eithr Paul, wedi aros etto ddyddiau
lawer, a ganodd yn iach i'r brodyr, ac a
fordwyodd ymaith i Syria, a chyd ag ef
m Num. 6. Priscila ac Acwila; gwedi iddo [m] gneifio
18. *ei* ben yn Cenchrea: canys yr oedd arno
Pen. 21. 24. adduned.
19 Ac efe a ddaeth i Ephesus, ac a'u
gadawodd hwynt yno; eithr efe a aeth
i'r synagog, ac a ymresymmodd â'r Iu-
ddewon.
20 A phan ddymunasant *arno* aros gyd
â hwynt dros amser hwy, ni chaniattaodd
efe:
21 Eithr efe a ganodd yn iach iddynt,
n Pen. 19. gan ddywedyd, [n] Y mae yn anghenrhaid i
21. mi gadw yr wyl sy'n dyfod yn Jerusalem;
o 1 Cor. 4. ond [o] os myn Duw, mi a ddeuaf yn fy ol
19. Heb. 6. 3. attoch chwi drachefn. Ac efe a aeth ymaith
Iago 4. 15. o Ephesus.
22 Ac wedi iddo ddyfod i wared i Ce-
sarea, efe a aeth i fynu ac a gyfarch-
odd yr eglwys, ac a ddaeth i wared i An-
tiochia.
56. 23 Ac wedi iddo dreulio talm o amser,
efe a aeth ymaith, gan dramwy trwy wlad
p Gal. 4. [p] Galatia, a Phrygia, mewn trefn, a cha-
14. darnhâu yr holl ddisgyblion.
q 1 Cor. 1. 24 ¶ [q] Eithr rhyw Iuddew, a'i enw
12. Apòlos, Alexandriad o genedl, gwr ym-
adroddus, cadarn yn yr ysgrythyrau, a
ddaeth i Ephesus.
25 Hwn oedd wedi dechreu dysgu iddo
ffordd yr Arglwydd: ac *efe* yn wresog yn
yr yspryd, a lefarodd, ac a athrawiaethodd
yn ddiwyd y pethau a berthynent i'r Ar-
r Pen. 19. glwydd, [r] heb ddeall ond bedydd Ioan yn
3. unig.
26 A hwn a ddechreuodd lefaru yn hŷ
yn y synagog: a phan glybu Acwila a
Phriscila, hwy a'i cymmerasant ef attynt,
ac a agorasant iddo ffordd Duw yn fa-
nylach.
27 A phan oedd efe yn ewyllysio myned
i Achaia, y brodyr, gan annog, a 'sgrifen-
asant at y disgyblion i'w dderbyn ef. Yr
s 1 Cor. 3. hwn, wedi ei ddyfod, [s] a gynnorthwyodd
6. lawer ar y rhai a gredasent trwy ras.
28 Canys efe a orchfygodd yr Iuddewon
yn egniol, ar gyhoedd, gan ddangos trwy
ysgrythyrau, mai Iesu yw Crist.

## PEN. XIX.

*6 Rhoddi'r Yspryd Glân trwy ddwylaw Paul. 9 Yr Iuddewon yn cablu ei athrawiaeth ef, yr hon a gadarnheir trwy wyrthiau. 13 Y consurwŷr Iuddewaidd 16 yn cael eu curo gan y cythraul. 19 Llosgi y llyfrau consurio. 24 Demetrius, o chwant elw, yn codi terfysg mawr yn erbyn Paul: 35 ac ysgolhaig y ddinas yn llonyddu'r terfysg.*

A Digwyddodd, tra fu Apòlos yn Co- 56.
rinth, wedi i Paul dramwy trwy [a] y a 1 Mac. 3.
parthau uchaf, ddyfod o hono ef i Ephesus: 37. a 6. 1.
ac wedi iddo gael rhyw ddisgyblion,
2 Efe a ddywedodd wrthynt, A dderbyn-
iasoch chwi yr Yspryd Glân er pan gred-
asoch? A hwy a ddywedasant wrtho, [b] Ni b Pen. 8.
chawsom ni gymmaint a chlywed a oes 16.
Yspryd Glân. Edrych 1 Sam. 3.
3 Ac efe a ddywedodd wrthynt, I ba beth 7.
gan hynny y bedyddiwyd chwi? Hwythau
a ddywedasant, [c] I fedydd Ioan. c Pen. 18.
4 A dywedodd Paul, [d] Ioan yn ddïau a 25.
fedyddiodd â bedydd edifeirwch, gan ddy- d Mat. 3.
wedyd wrth y bobl am gredu yn yr hwn 11.
oedd yn dyfod ar ei ol ef, sef yng Nghrist Pen. 1. 5.
Iesu. a 11. 16.
5 A phan glywsant hwy *hyn*, hwy a fe-
dyddiwyd yn enw yr Arglwydd Iesu.
6 Ac wedi i Paul [e] ddodi *ei* ddwylaw e Pen. 6. 6.
arnynt, yr Yspryd Glân a ddaeth arnynt; a 8. 17.
a hwy [f] a draethasant â thafodau, ac a bro- f Pen. 2. 4.
phwydasant. a 10. 46.
7 A'r gwŷr oll oeddynt ynghylch deu-
ddeg.
8 Ac efe a aeth i mewn i'r synagog, ac a
lefarodd yn hŷ dros dri mis, gan ymresymmu
a chynghori y pethau *a berthynent* i deyrnas
Duw.
9 Eithr [g] pan oedd rhai wedi caledu, ac 57.
heb gredu, gan ddywedyd yn ddrwg am g 2 Tim. 1.
† y ffordd honno ger bron y lliaws, efe a 15.
dynnodd ymaith oddi wrthynt, ac a neill- † Edrych
duodd y disgyblion; gan ymresymmu beu- Pen. 9. 2.
nydd yn ysgol un Tyrannus. Adn. 23.
10 A [h] hyn a fu dros yspaid dwy flynedd, Pen. 24. 14. h Edrych
hyd oni ddarfu i bawb a oedd yn trigo yn Pen. 20. 31.
Asia, yn Iuddewon a Groegiaid, glywed
gair yr Arglwydd Iesu. i Marc 16.
11 A [i] gwŷrthiau rhagorol a wnaeth Duw 20.
trwy ddwylaw Paul: Pen. 14. 3.
12 [k] Hyd oni ddygid at y cleifion, oddi k Pen. 5.
wrth ei gorph ef, napcynau neu ‡ foledau; 15.
a'r clefydau a ymadawai â hwynt, a'r ys- Edrych 2 Bren. 4.
prydion drwg a aent allan o honynt. 29.
13 ¶ Yna rhai o'r Iuddewon crwydraidd, ‡ *gwrsiau.* 58.
*y rhai oedd* gonsurwŷr, [l] a gymmerasant l Edrych
arnynt enwi uwch ben y rhai oedd ag ys- Marc 9. 38.
prydion drwg ynddynt, enw'r Arglwydd
Iesu, gan ddywedyd, Yr ydym ni yn eich
tynghedu chwi trwy yr Iesu, yr hwn y mae
Paul yn ei bregethu.
14 Ac yr oedd rhyw saith o feibion i
Scefa, Iuddew, *ac* arch-offeiriad, y rhai
oedd yn gwneuthur hyn.
15 A'r yspryd drwg a attebodd ac a ddy-
wedodd, Yr Iesu yr wyf yn ei adnabod, a
Phaul a adwaen; eithr pwy ydych chwi?
16 A'r dyn yr hwn yr oedd yr yspryd
drwg ynddo, a ruthrodd arnynt, ac a'u
§ gorchfygodd, ac a fu drwm yn eu herbyn; § *meistr-*
hyd oni ffoisant hwy allan o'r tŷ hwnnw, yn *olodd.*
noethion ac yn archolledig.
17 A hyn a fu hyspys gan yr holl Iuddew-
on a'r Groegiaid hefyd y rhai oedd yn
preswylio yn Ephesus: ac ofn a syrthiodd
arnynt oll, ac enw yr Arglwydd Iesu a
fawrygwyd.
18 A llawer o'r rhai a gredasent a ddaeth-
ant, ac [m] a gyffesasant, ac a fynegasant eu m Mat. 3.
gweithredoedd. 6.

19 Llawer hefyd o'r rhai a fuasai yn gwneuthur † rhodreswaith, a ddygasant eu llyfrau ynghŷd, ac a'u llosgasant yngŵydd pawb: a hwy a fwriasant eu gwerth hwy, ac a'i cawsant yn ddengmil a deugain o *ddarnau* arian.

† manylwaith.

20 [n] Mor gadarn y cynnyddodd gair yr Arglwydd, ac y cryfhaodd.

n Pen. 6. 7. a 12. 24.

21 ¶ [o] A phan gyflawnwyd y pethau hyn, [p] arfaethodd Paul yn yr yspryd, gwedi iddo dramwy trwy Macedonia ac Achaia, fyned i Jerusalem; gan ddywedyd, Gwedi i mi fod yno, [q] rhaid i mi weled Rhufain hefyd.

59. o Rhuf. 15. 25. Gal. 2. 1. p Pen. 20. 22. q Pen. 18. 21.

22 Ac wedi anfon i Macedonia ddau o'r [r] rhai oedd yn gweini iddo, sef Timothëus ac [s] Erastus, efe ei hun a arhosodd dros amser yn Asia.

r Pen. 13. 5. s Rhuf. 16. 23. 2 Tim. 4. 20.

23 ¶ A bu ar [t] yr amser hwnnw drallod nid bychan ynghylch y [u] ffordd honno.

t 2 Cor. 1. 8. u Edrych Pen. 9. 2.

24 Canys rhyw un a'i enw Demetrius, gof arian, yn gwneuthur temlau arian i Ddïana, oedd yn peri elw [x] nid bychan i'r crefftwyr;

x Pen. 16. 16, 19.

25 Y rhai a alwodd efe, ynghŷd â gweithwŷr y cyfryw bethau hefyd, ac a ddywedodd, *Ha* wŷr, chwi a wyddoch mai oddi wrth yr elw hwn y mae ein golud ni:

26 Chwi a welwch hefyd ac a glywch, nid yn unig yn Ephesus, eithr agos dros Asia oll, ddarfod i'r Paul yma berswadio a throi llawer o bobl ymaith, wrth ddywedyd [y] nad ydyw dduwiau y rhai a wnair â dwylaw.

y Psal. 115. 4. Jer. 10. 3.

27 Ac nid yw yn unig yn enbyd i ni, ddyfod y rhan hon i ddirmyg; eithr hefyd bod cyfrif teml y dduwies fawr Dïana yn ddiddym, a bod hefyd ddistrywio ei mawrhydi hi, yr hon y mae Asia oll a'r byd yn ei haddoli.

28 A phan glywsant, hwy a lânwyd o ddigofaint; ac a lefasant, gan ddywedyd, Mawr *yw* Dïana yr Ephesiaid.

29 A llànwyd yr holl ddinas o gythrwfl: a hwy a ruthrasant yn unfryd i'r ‡ orsedd, gwedi cipio [z] Gaius ac [a] Aristarchus o Macedonia, cyd-ymdeithion Paul.

‡ theatr golygfa. z 1 Cor. 1. 14. a Pen. 20. 4. a 27. 2. Col. 4. 10.

30 A phan oedd Paul yn ewyllysio myned i mewn i blith y bobl, ni adawodd y disgyblion iddo.

31 Rhai hefyd o bennaethiaid Asia, y rhai oedd gyfeillion iddo, a yrrasant atto, i ddeisyf *arno*, nad ymroddai efe i fyned i'r orsedd.

32 A rhai a lefasant un peth, ac eraill beth arall: canys y gynnulleidfa oedd yn gymmysg; a'r rhan fwyaf ni wyddent o herwydd pa beth y daethent ynghŷd.

33 A hwy a dynnasant Alexander allan o'r dyrfa, a'r Iuddewon yn ei yrru ef ym mlaen. Ac Alexander [b] a amneidiodd â'i law am osteg, ac a fynnasai ei ymddiffyn ei hun wrth y bobl.

b Pen. 12. 17.

34 Eithr pan wybuant mai Iuddew oedd efe, pawb ag un llef a lefasant megis dros ddwy awr, Mawr *yw* Dïana yr Ephesiaid.

35 Ac wedi i § 'sgolhaig y ddinas lonyddu'r bobl, efe a ddywedodd, *Ha* wŷr Ephesiaid, pa ddyn sydd ni's gŵyr fod dinas yr Ephesiaid yn ‖ addoli y dduwies fawr Dïana, a'r *ddelw* a ddisgynodd oddi wrth Jupiter?

§ 'sgrifennydd. ‖ geidwad teml.

36 A chan fod y pethau hyn heb allu dywedyd i'w herbyn, rhaid i chwi fod yn llonydd, ac na wneloch ddim mewn byrbwyll.

37 Canys dygasoch yma y gwŷr hyn, y rhai nid ydynt nac yn yspeilwŷr temlau, nac yn cablu eich duwies chwi.

38 Od oes gan hynny gan Ddemetrius, a'r crefftwŷr sydd gyd ag ef, un hawl yn erbyn neb, y mae cyfraith i'w chael, ac y mae rhaglawiaid: rhodded pawb yn erbyn eu gilydd.

39 Ac os gofynwch ddim am bethau eraill, mewn cynnulleidfa † gyfreithlawn y terfynir *hynny*.

† gyffredin.

40 O herwydd enbyd yw rhag achwyn arnom am y derfysg heddyw; gan nad oes un achos trwy yr hwn y gallom roddi rheswm o'r ymgyrch hwn.

41 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ollyngodd y gynnulleidfa ymaith.

## PEN. XX.

*1 Paul yn myned i Macedonia; 7 yn gwasanaethu swpper yr Arglwydd, ac yn pregethu. 9 Eutychus, wedi cwympo i lawr yn farw, yn cael ei godi i fyny yn fyw. 17 Paul, ym Miletus, yn galw yr henuriaid ynghŷd; ac yn mynegi iddynt beth a ddigwyddai iddo: 28 yn gorchymyn praidd Duw iddynt: 29 yn eu rhybuddio hwy t am y gau athrawon: 36 yn gweddïo gyd â hwynt; ac yn myned ymaith.*

AC ar ol gostegu y cythrwfl, Paul, wedi galw y disgyblion atto, a'u cofleidio, [a] a ymadawodd i fyned i Macedonia.

a 1 Tim. 1. 3.

2 Ac wedi iddo fyned dros y parthau hynny, a'u cynghori hwynt â llawer o ymadrodd, efe a ddaeth i dir Groëg.

3 Ac wedi aros drimis, a gwneuthur o'r Iuddewon gynllwyn iddo, fel yr oedd ar fedr morio i Syria, efe a arfaethodd ddychwelyd trwy Macedonia.

4 A chyd-ymdeithiodd ag ef hyd yn Asia, Sopater o Berea; ac o'r Thessaloniaid, [b] Aristarchus, a Secundus, a Gaius o Dderbe, a Thimothëus; ac o'r Asiaid, [c] Tychicus, a [d] Throphimus.

b Pen. 19. 29. a 27. 2. Col. 4. 10. c Eph. 6. 21. Col. 4. 7. 2 Tim. 4. 12. Tit. 3. 12. d Pen. 21. 29. 2 Tim. 4. 20.

5 Y rhai hyn a aethant o'r blaen, *ac* a arhosasant am danom yn Troas.

6 A ninnau a fordwyasom ymaith oddi wrth Philippi, ar ol dyddiau y bara croyw; ac a ddaethom attynt hwy i Troas mewn pum niwrnod; lle yr arhosasom saith niwrnod.

7 Ac ar [e] y *dydd* cyntaf o'r † wythnos, wedi i'r disgyblion ddyfod ynghŷd [f] i dorri bara, Paul a ‡ ymresymmodd â hwynt, ar fedr myned ymaith drannoeth; ac *efe* a barhaodd yn ymadrodd hyd hanner nos.

e 1 Cor. 16. 2. Dat. 1. 10. † sabbathau. f Pen. 2. 42, 46. 1 Cor. 10. 16. a 11. 20, &c. ‡ bregethodd iddynt.

8 Ac yr oedd llawer o lampau yn y llofft lle yr oeddynt wedi ymgasglu.

9 A rhyw wr ieuangc, a'i enw Eutychus, a eisteddai mewn ffenestr: ac efe a syrthiodd mewn trymgwsg, tra yr oedd Paul yn ymresymmu yn hir, wedi ei orchfygu gan gwsg, ac a gwympodd i lawr o'r drydedd lofft; ac a gyfodwyd i fynu yn farw.

10 A Phaul a aeth i wared, ac [g] a syrthiodd arno ef, a chan ei gofleidio, a ddywedodd, [h] Na chyffroed arnoch: canys y mae ei enaid ynddo ef.

g 1 Bren. 17. 21. h Mat. 9. 24.

11 Ac wedi iddo ddyfod i fynu, a thorri bara, a bwytta, ac ymddiddan llawer hyd dorriad y dydd; felly efe a aeth ymaith.

12 A hwy a ddygasant y llangc yn fyw, ac a gysurwyd yn ddirfawr.

13 ¶ Ond nyni a aethom o'r blaen i'r llong, ac a hwyliasom i Assos; ar fedr oddi yno dderbyn Paul; canys felly yr oedd

efe wedi ordeinio, ar fedr myned ei hun ar
ei draed.
14 A phan gyfarfu efe â ni yn Assos, nyni
a'i derbyniasom ef i mewn, ac a ddaethom
i Mitylene.
15 A morio a wnaethom oddi yno, a
dyfod drannoeth gyferbyn â Chïos; a thra-
dwy y tiriasom yn Samos, ac a arhosasom
yn Trogylium, a'r ail dydd y daethom i
Miletus.
16 Oblegid Paul a roddasai ei fryd ar
hwylio heibio i Ephesus, fel na byddai iddo
i Pen. 21. 4, 12. dreulio amser yn Asia. Canys [i] brysio yr
oedd, os bai bosibl iddo, i fod yn Jerusalem
† *Pentecost.* erbyn dydd y † Sulgwyn.
17 ¶ Ac o Miletus efe a anfonodd i
Ephesus, ac a alwodd atto henuriaid yr
eglwys.
18 A phan ddaethant atto, efe a ddywed-
k Pen. 18. 19. a 19. 1, 10. odd wrthynt, Chwi a wyddoch, [k] er y dydd
cyntaf y daethum i Asia, pa fodd y bûm i
gyd a chwi dros yr holl amser,
19 Yn gwasanaethu'r Arglwydd gyd â
phob gostyngeiddrwydd, a llawer o ddagr-
au, a phrofedigaethau y rhai a ddigwyddodd
i mi trwy gynllwynion yr Iuddewon:
l Adn. 27. 20 Y modd [l] nad atteliais ddim o'r pethau
buddiol heb eu mynegi *i chwi*, a'ch dysgu
ar gyhoedd, ac o dŷ i dŷ;
21 Gan dystiolaethu i'r Iuddewon, ac i'r
m Marc 1. 15. Luc 24. 47. Groegiaid hefyd, [m] yr edifeirwch sydd tu
ag at Dduw, a'r ffydd sydd tu ag at ein
Harglwydd Iesu Grist.
n Pen. 19. 21. 22 Ac yn awr, wele [n] fi yn rhwym yn yr
yspryd yn myned i Jerusalem, heb wybod y
pethau a ddigwydd i mi yno:
o Pen. 21. 4, 11. 23 Eithr bod [o] yr Yspryd Glân yn tystio
i mi ym mhob dinas, gan ddywedyd, fod
rhwymau a blinderau yn fy aros.
p Pen. 21. 13. 24 Ond [p] nid wyf fi yn gwneuthur cyfrif
o ddim, ac nid gwerthfawr gennyf fy ein-
ioes fy hun, os gallaf orphen fy ngyrfa
q Gal. 1. 1. Tit. 1. 3. trwy lawenydd, a'r weinidogaeth [q] a dder-
byniais gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu
efengyl gras Duw.
r Adn. 38. Rhuf. 15. 23. 25 Ac yr awrhon, wele, mi a wn [r] na
chewch chwi oll (ym mysg y rhai y bûm i
yn tramwy yn pregethu teyrnas Dduw)
weled fy wyneb i mwyach.
26 O herwydd paham yr ydwyf yn
s Pen. 18. 6. tystio i chwi y dydd heddyw, [s] fy mod i yn
lân oddi wrth waed pawb oll.
t Adn. 20. 27 Canys [t] nid ymatteliais rhag mynegi
u Luc 7. 30. Ioan 15. 15. Eph. 1. 11. i chwi holl [u] gynghor Duw.
28 ¶ [x] Edrychwch gan hynny arnoch eich
x 1 Tim. 4. 16. 1 Petr 5. 2. hunain, ac ar yr holl braidd ar yr hwn y
gosododd yr Yspryd Glân chwi yn olygwŷr,
i fugeilio eglwys Dduw, [y] yr hon a bwrcas-
y Eph. 1. 7. Col. 1. 14. 1 Petr 1. 19. Dat. 5. 9. odd efe [z] â'i brïod waed.
29 Canys myfi a wn hyn, y daw, ar ol fy
ymadawiad i, [a] fleiddiau ‡ blinion i'ch plith,
heb arbed y praidd.
z Edrych Heb. 9. 14. 30 Ac o honoch chwi eich hunain y cy-
a Mat. 7. 15. 1 Petr 2. 1. fyd gwŷr yn llefaru pethau gŵyr-draws, i
dynnu disgyblion ar eu hol.
‡ *trymion.* 31 Am hynny gwyliwch, a chofiwch,
b Pen. 19. 10. [b] dros dair blynedd na pheidiais i nos a
dydd â rhybuddio pob un *o honoch* â dagrau.
32 Ac yr awrhon, frodyr, yr ydwyf yn
eich gorchymyn i Dduw, ac i air ei ras
c Pen. 9. 31. ef, yr hwn a all [c] adeiladu ychwaneg, a
d Eph. 1. 18. rhoddi i chwi [d] etifeddiaeth ym mhlith yr
holl rai a sancteiddiwyd.
e 1 Sam. 12. 3. 33 [e] Arian, neu aur, neu wisg neb, ni
chwennychais.
34 Ie, chwi a wyddoch eich hunain,
[f] ddarfod i'r dwylaw hyn wasanaethu i'm f Pen. 18. 3.
cyfreidiau i, ac i'r rhai oedd gyd â mi. 1 Cor. 4.
35 Mi a ddangosais i chwi bob peth, 12.
[g] mai wrth lafurio felly, y mae yn rhaid 1 Thess. 2. 9.
cynnorthwyo'r gweiniaid; a chofio geiriau'r 2 Thess. 3.
Arglwydd Iesu, ddywedyd o hono ef, mai 8.
dedwydd yw rhoddi, yn hytrach na derbyn. g 1 Cor. 9.
36 ¶ Ac wedi iddo ddywedyd y pethau 12.
hyn, efe [h] a roddodd ei liniau i lawr, ac a 2 Cor. 11. 9. a 12. 13.
weddïodd gyd â hwynt oll. 1 Thess. 4.
37 Ac wylo yn dost a wnaeth pawb: a 11.
*hwy* a syrthiasant ar wddf Paul, ac a'i cus- h Pen. 7.
anasant ef; 60. a 21. 5.
38 Gan ofidio yn bennaf am y gair [i] a i Adn. 25.
ddywedasai efe, na chaent weled ei wyneb
ef mwy. A hwy a'i hebryngasant ef i'r llong.

## PEN. XXI.

*1 Paul yn gwrthod ei gynghori i beidio â myned i Jerusalem. 9 Merched Phylip yn brophwydesau. 15 Paul yn dyfod i Jerusalem: 27 lle y daliwyd ef, ac y bu mewn mawr berygl: 31 a'r pen-capten yn ei achub ef, ac yn rhoi cennad iddo i lefaru wrth y bobl.*

A Digwyddodd, wedi i ni osod allan, ac 60.
ymadael â hwynt, ddyfod o honom
ag uniawn-gyrch i Coos, a thrannoeth i
Rhodes; ac oddi yno i Patara.
2 A phan gawsom long yn hwylio tros-
odd i Phenice, ni a ddringasom iddi, ac a
aethom ymaith.
3 Ac wedi ymddangos o Cyprus i ni, ni
a'i gadawsom hi ar y llaw aswy, ac a hwyl-
iasom i Syria, ac a diriasom yn Tyrus:
canys yno yr oedd y llong yn dadlwytho'r
llwyth.
4 Ac wedi i ni gael disgyblion, nyni a
arhosasom yno saith niwrnod: [a] y rhai a a Pen. 20.
ddywedasant i Paul, trwy'r Yspryd, nad 23.
elai i fynu i Jerusalem.
5 A phan ddarfu i ni orphen y dyddiau,
ni a ymadawsom, ac a gychwynasom: a
phawb, ynghŷd â'r gwragedd a'r plant, a'n
hebryngasant ni hyd allan o'r ddinas: ac
wedi i ni [b] ostwng ar ein gliniau ar y traeth, b Pen. 20.
ni a weddïasom. 36.
6 Ac wedi i ni ymgyfarch â'n gilydd, ni
a ddringasom i'r llong; a hwythau a ddy-
chwelasant i'w cartref.
7 Ac wedi i ni orphen hwylio o Tyrus,
ni a ddaethom i Ptolemais: ac wedi i *ni*
gyfarch y brodyr, ni a drigasom un diwrnod
gyd â hwynt.
8 A thrannoeth † y rhai oedd ynghylch † *Paul a'r*
Paul ‡ a ymadawsant, ac a ddaethant i *rhai oedd*
Cesarea. Ac wedi i ni fyned i mewn i dŷ *gyd ag ef.*
Phylip [c] yr efengylwr ([d] yr hwn oedd un Pen. 13. 1.
o'r saith) ni a arhosasom gyd ag ef. ‡ *gwedi*
9 Ac i hwn yr oedd pedair merched o *myned*
forwynion, [e] yn prophwydo. *allan, nyni a ddaeth-*
10 Ac fel yr oeddem yn aros *yno* ddyddiau *om i Cesarea.*
lawer, daeth i wared o Judea brophwyd a'i c Eph. 4.
enw [f] Agabus. 11.
11 Ac wedi dyfod attom, a chymmeryd 2 Tim. 4.
gwregys Paul, a rhwymo ei ddwylaw ef a'i 5.
draed, efe a ddywedodd, Hyn a ddywaid d Pen. 6. 5
yr Yspryd Glân; [g] Y gwr biau y gwregys a 8. 26.
hwn a rwym yr Iuddewon fel hyn yn Je- e Pen. 2.
rusalem, ac a'i traddodant i ddwylaw'r 17.
Cenhedloedd. f Pen. 11.
12 A phan glywsom y pethau hyn, nyni, 28.
a'r rhai oedd o'r fan honno hefyd, a ddei- g Pen. 20.
syfiasom nad elai efe i fynu i Jerusalem. 23.
13 Eithr Paul a attebodd, [h] Beth a wnewch Adn. 33.
chwi yn wylo, ac yn torri fy nghalon i? h Pen. 20. 23.

canys parod wyf fi nid i'm rhwymo yn unig,
ond i farw hefyd yn Jerusalem, er mwyn
enw yr Arglwydd Iesu.
14 A chan na ellid ei berswadio, ni a bei-
[i] Mat. 6. diasom, gan ddywedyd; [i] Ewyllys yr Ar-
10. Luc 11. 2. glwydd a wneler.
a 22. 42. 15 Hefyd, ar ol y dyddiau hynny, ni a
gymmerasom ein beichiau, ac a aethom i
fynu i Jerusalem.
16 A *rhai* o'r disgyblion o Cesarea a dda-
eth gyd â ni, gan ddwyn un Mnason o Cy-
prus, hen ddisgybl. gyd â'r hwn y llettyem.
17 Ac wedi ein dyfod i Jerusalem, y bro-
dyr a'n derbyniasant yn llawen.
18 A'r *dydd* nesaf yr aeth Paul gyd â ni i
[k] Pen. 15. mewn at [k] Iago: a'r holl henuriaid a ddae-
13. thant yno.
Gal. 1. 19. 19 Ac wedi iddo gyfarch gwell iddynt,
efe a fynegodd iddynt, bob yn un ac un,
bob peth a wnaethai Duw ym mhlith y Cen-
hedloedd trwy ei weinidogaeth ef.
20 A phan glywsant, hwy a ogoneddasant
yr Arglwydd, ac a ddywedasant wrtho, Ti
† anetrif. a weli, frawd, pa † sawl myrddiwn sydd o'r
Iuddewon y rhai a gredasant; ac y maent
[l] Rhuf. 10. oll [l] yn dwyn zel i'r ddeddf.
2. Gal. 1. 14. 21 A hwy a glywsant am danat ti, dy
fod di yn dysgu'r Iuddewon oll, y rhai
sydd ym mysg y Cenhedloedd, i ymwrthod
â Moses; ac yn dywedyd, na ddylent hwy
enwaedu ar *eu* plant, na rhodio yn ol y de-
fodau.
‡ anghenrhaid yw 22 Pa beth gan hynny? nid ‡ oes fodd
dyfod. na ddêl y lliaws ynghŷd: canys hwy a gânt
glywed dy ddyfod di.
23 Gwna gan hynny yr hyn a ddywedwn
wrthyt; Y mae gennym ni bedwar gwŷr a
chanddynt adduned arnynt:
24 Cymmer y rhai hyn, a glanhaer di
gyd â hwynt; a gwna draul arnynt, fel yr
[m] Num. 6. [m] eilliont eu pennau, ac y gwypo pawb am
2, 13, 18. y pethau a glywsant am danat ti, nad ydynt
Pen. 18. 18. ddim, ond dy fod di dy hun hefyd yn rhod-
io, ac yn cadw'r ddeddf.
25 Eithr am y Cenhedloedd y rhai a gred-
[n] Pen. 15. asant, [n] ni a 'sgrifenasom, *ac* a farnasom, na
20, 29. bo iddynt gadw dim o'r cyfryw beth; eithr
iddynt ymgadw oddi wrth y pethau a aberth-
wyd i eilunod, a gwaed, a rhag *peth* tagedig,
a rhag putteindra.
26 Yna Paul a gymmerth y gwŷr; a
thrannoeth, gwedi iddo ymlanhâu gyd â
[o] Pen. 24. hwynt, efe [o] a aeth i mewn i'r deml; [p] gan
18. hyspysu cyflawni dyddiau y glanhâd, hyd oni
[p] Num. 6. offrymmid offrwm dros bob un o honynt.
13. 27 A phan oedd y saith niwrnod ar ddar-
fod, yr Iuddewon oeddent o Asia, pan wel-
sant ef yn y deml, a derfysgasant yr holl
bobl, ac a ddodasant ddwylaw arno,
28 Gan lefain, *Ha* wŷr Israeliaid, cyn-
northwywch. Dyma'r dyn sydd yn dysgu
pawb ym mhob man yn erbyn y bobl, a'r
[q] Pen. 24. gyfraith, a'r lle yma: ac ym mhellach, [q] y
6. Groegiaid hefyd a ddug *efe* i mewn i'r deml,
ac a halogodd y lle sanctaidd hwn.
[r] Pen. 20. 29 Canys hwy a welsent o'r blaen [r] Tro-
4. phimus yr Ephesiad yn y ddinas gyd ag ef,
yr hwn yr oeddynt hwy yn tybied ddarfod i
Paul ei ddwyn i mewn i'r deml.
[s] Pen. 26. 30 A [s] chynhyrfwyd y ddinas oll, § a'r
21. bobl a redodd ynghŷd: ac wedi ymaelyd
§ a bu aruthr yn Paul, hwy a'i tynnasant ef allan o'r deml.
gan y bobl, Ac yn ebrwydd cauwyd y drysau.
ac wedi, 31 Ac fel yr oeddynt hwy yn ceisio ei
&c. ladd ef, daeth y gair at ben-capten y fyddin,
fod Jerusalem oll mewn terfysg.

32 Yr hwn allan o law a gymmerodd fil-
wŷr, a chanwriaid, ac a redodd i wared at-
tynt: hwythau, pan welsant y pen-capten
a'r milwŷr, a beidiasant â churo Paul.
33 Yna y daeth y pen-capten yn nês, ac
a'i daliodd ef, ac [t] a archodd ei rwymo ef â [t] Adn. 11.
dwy gadwyn; ac a ymofynodd pwy oedd
efe, a pha beth a wnaethai.
34 Ac amryw rai a lefent amryw beth yn
y dyrfa: ac am na's gallai wybod hyspys-
rwydd o herwydd y cythrwfl, efe a orchy-
mynodd ei ddwyn ef i'r castell.
35 A phan oedd efe ar y grisiau, fe a ddi-
gwyddodd gorfod ei ddwyn ef gan y mil-
wŷr, o achos trais y dyrfa.
36 Canys yr oedd lliaws y bobl yn can-
lyn, gan lefain, [u] Ymaith ag ef. [u] Luc 23.
37 A phan oedd Paul ar ei ddwyn i mewn 18.
i'r castell, efe a ddywedodd wrth y pen- Ioan 19. 15.
capten, Ai rhydd i mi ddywedyd peth wrth- Pen. 22. 22.
yt? Ac efe a ddywedodd, A fedri di Roeg?
38 [x] Onid tydi yw yr Aiphtwr, yr hwn o [x] Pen. 5.
flaen y dyddiau hyn a gyfodaist derfysg, ac 36.
a arweiniaist i'r anialwch bedair mil o wŷr 55.
llofruddiog? pan gyfododd.
39 A Phaul a ddywedodd, [y] Gwr ydwyf [y] Pen. 9.
fi yn wir o Iuddew, *un* o Tarsus, dinesydd 11. a 22. 3.
o ddinas nid anenwog, o Cilicia; ac yr wyf
yn deisyf arnat ti, dyro gennad i mi i lefaru
wrth y bobl.
40 Ac wedi iddo roi cennad iddo, Paul a
safodd ar y grisiau, ac a [z] amneidiodd â [z] Pen. 12.
llaw ar y bobl. Ac wedi gwneuthur distaw- 17.
rwydd mawr, efe a lefarodd wrthynt yn He-
braeg, gan ddywedyd,

## PEN. XXII.

*1 Paul yn mynegi yn helaeth y modd y troisid ef i'r ffydd, 17 ac y galwesid ef i fod yn apostol. 22 Y bobl, wrth glywed crybwyll am y Cenhedloedd, yn llefain yn ei erbyn ef: 24 ac yntau yn debyg i gael ei fflan-gellu; 25 ac etto yn diangc, trwy ymhonni o ddinas-fraint Rhufain.*

[a] HA wŷr, frodyr, a thadau, gwrandêwch 60.
fy ymddiffyn wrthych yr awrhon. [a] Pen. 7. 2.
2 (A phan glywsant mai yn Hebraeg yr
oedd efe yn llefaru wrthynt, hwy a roisant
iddo osteg gwell. Ac efe a ddywedodd)
3 [b] Gwr wyf fi yn wir o Iuddew, yr hwn [b] Pen. 21.
a aned yn Tarsus yn Cilicia, ac wedi fy 39. 2 Cor. 11.
meithrin yn y ddinas hon [c] wrth draed 22.
[d] Gamaliel, *ac* wedi fy athrawiaethu yn [c] Deut. 33.
ol manylaf gyfraith y tadau, [e] yn dwyn 3.
zel i Dduw, [f] fel yr ydych chwithau oll Luc 10. 39.
heddyw. [d] Pen. 5. 34.
4 [g] A mi a erlidiais [h] y ffordd hon hyd [e] Gal. 1. 14.
angau, gan rwymo a dodi yngharchar wŷr a [f] Rhuf. 10.
gwragedd hefyd. 2.
5 Megis ag y mae yr arch-offeiriad yn [g] Pen. 8. 3.
dyst i mi, a'r holl henaduriaeth: gan y rhai [h] Pen. 9. 2.
hefyd y derbyniais lythyrau at y brodyr, ac
yr aethum i Ddamascus, ar fedr dwyn y
rhai oedd yno *hefyd*, yn rhwym i Jerusalem,
i'w cospi.
6 Eithr [i] digwyddodd, a myfi yn myned, [i] Pen. 9. 3.
ac yn nesâu at Ddamascus, ynghylch han- a 26. 12.
ner dydd, yn ddisymmwth i fawr oleuni
o'r nef ddisgleirio o'm hamgylch.
7 A mi a syrthiais ar y ddaear, ac a glyw-
ais lais yn dywedyd wrthyf, Saul, Saul, pa-
ham yr wyt yn fy erlid?
8 A minnau a attebais, Pwy wyt ti, O
Arglwydd? Yntau a ddywedodd wrthyf,
Myfi yw Iesu o Nazareth, yr hwn yr wyt ti
yn ei erlid.

k Pen. 9. 9 Hefyd k y rhai oedd gyd â myfi a wel-
Dan. 10. 7. sant y goleuni yn ddiau, ac a ofnasant; ond
ni chlywsant hwy lais yr hwn oedd yn llefa-
ru wrthyf.
10 Ac myfi a ddywedais, Beth a wnaf, O
Arglwydd? A'r Arglwydd a ddywedodd
wrthyf, Cyfod, a dos i Ddamascus, ac yno
y dywedir i ti bob peth a'r a ordeiniwyd i
ti eu gwneuthur.
11 A phryd nad oeddwn yn gweled gan
† Gr. myfi, ogoniant y goleuni hwnnw, † a'r rhai oedd
yn cael fy gyd â mi yn fy nhywys erbyn fy llaw, myfi a
arwain er- ddaethum i Ddamascus.
byn fy
llaw gan y 12 Ac l un Ananias, gwr defosiynol yn
rhai oedd ol y ddeddf, ac iddo air da gan yr Iuddew-
gyd â mi.
l Pen. 9. 17. on oll a'r oeddynt yn preswylio *yno*,
13 A ddaeth attaf, ac a safodd ger llaw,
ac a ddywedodd wrthyf, Y brawd Saul,
cymmer dy olwg. Ac mi a edrychais arno
yn yr awr honno.
14 Ac efe a ddywedodd, Duw ein tadau
m Pen. 26. ni m a'th rag-ordeiniodd di i wybod ei ewy-
16. llys ef, ac i n weled o y Cyfiawn hwnnw,
n 1 Cor. 9. ac i glywed lleferydd ei enau ef.
1. a 15. 8. 15 Canys ti a fyddi dyst iddo wrth bob
o Pen. 3.
14. a 7. 52. dyn, o'r *pethau* a welaist ac a glywaist.
16 Ac yr awrhon beth yr wyt ti yn
‡ amcanu? ei ‡ aros? cyfod, bedyddier di, a golch ym-
aith dy bechodau, gan alw ar enw yr Ar-
glwydd.
p Pen. 9. 17 A p darfu, wedi i mi ddyfod yn fy ol
28. i Jerusalem, fel yr oeddwn yn gweddio yn y
deml, i mi syrthio mewn llewyg;
18 A'i weled ef yn dywedyd wrthyf,
q Mat. 10. q Brysia, a dos ar frys allan o Jerusalem: o
14. herwydd ni dderbyniant dy dystiolaeth am
danaf fi.
19 A minnau a ddywedais, O Arglwydd,
r Adn. 4. r hwy a wyddant fy mod i yn carcharu, ac
yn baeddu ym mhob synagog, y rhai a gre-
dent ynot ti.
s Pen. 7. 20 s A phan dywalltwyd gwaed Stephan
58. a 8. 1. dy ferthyr di, yr oeddwn i hefyd yn sefyll
ger llaw, ac yn cyd-synio i'w ladd ef, ac yn
cadw dillad y rhai a'i lladdent ef.
21 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Dos
t Pen. 9. ymaith: t canys mi a'th anfonaf ym mhell at
15. a 13. 2. y Cenhedloedd.
Gal. 1. 15. 
a 2. 8. 22 A hwy a'i gwrandawsant ef hyd y gair
Eph. 3. 8. hwn. A hwy a godasant eu llef, ac a ddy-
1 Tim. 2. wedasant, u Ymaith â'r cyfryw un oddi ar y
7. ddaear: canys nid cymmwys x ei fod ef yn
2 Tim. 1.
11. fyw.
u Pen. 21. 23 Ac fel yr oeddynt yn llefain, ac yn
36. bwrw *eu* dillad, ac yn taflu llwch i'r awyr,
x Pen. 25. 24 Y pen-capten a orchymynodd ei ddwyn
24. ef i'r castell, gan beri ei holi ef trwy ffLan-
gellau; fel y gallai wybod am ba achos yr
oeddynt yn llefain arno felly.
25 Ac fel yr oeddynt yn ei rwymo ef â
charreiau, dywedodd Paul wrth y canwriad
y Pen. 16. yr hwn oedd yn sefyll ger llaw, y Ai rhydd
37. i chwi ffLangellu gwr o Rufeiniad, ac heb ei
gondemnio hefyd?
26 A phan glybu y canwriad, efe a aeth
ac a fynegodd i'r pen-capten, gan ddywed-
yd, Edrych beth yr wyt yn ei wneuthur:
canys Rhufeiniad yw y dyn hwn.
27 A'r pen-capten a ddaeth, ac a ddywed-
odd wrtho, Dywaid i mi, ai Rhufeiniad wyt
ti? Ac efe a ddywedodd, Ie.
28 A'r pen-capten a attebodd, A swm
mawr y cefais i y ddinas-fraint hon. Eithr
Paul a ddywedodd, A minnau a anwyd *yn*
*freiniol*.
29 Yn ebrwydd gan hynny yr ymadaw-
odd oddi wrtho y rhai oedd ar fedr ei § holi § arteithio.
ef. A'r pen-capten hefyd a ofnodd, pan
wybu ei fod ef yn Rhufeiniad, ac oblegid
darfod iddo ei rwymo ef.
30 A thrannoeth, ac efe yn ewyllysio
gwybod yn hyspys am ba beth y cyhudd-
id ef gan yr Iuddewon, efe a'i gollyngodd ef
o'r rhwymau, ac a archodd i'r arch-offeiriaid
a'u cynghor oll ddyfod *yno*; ac efe a ddug
Paul i wared, ac a'i gosododd ger eu bron
hwy.

PEN. XXIII.

1 *Paul yn atteb drosto ei hun. 2 Ananias yn*
*gorchymyn ei daro ef. 7 Ymryson ym mysg*
*ei gyhuddwyr ef. 11 Duw yn ei gysuro*
*ef. 14 Yr Iuddewon yn cynllwyn iddo;*
*20 a dangos hynny i'r pen-capten. 27 yn-*
*tau yn ei anfon ef at Felix y rhaglaw.*

A Phaul yn craffu ar y cynghor, 60.
a ddywedodd, Ha wŷr frodyr, a mi a a Pen. 24.
wasanaethais Dduw mewn pob cydwybod 16.
dda, hyd y dydd heddyw. 2 Tim. 1. 3.
2 A'r arch-offeiriad Ananias a archodd
i'r rhai oedd yn sefyll yn ei ymyl, b ei daro b 1 Bren.
ef ar ei enau. 22. 24.
3 Yna y dywedodd Paul wrtho, Duw a'th Jer. 20. 2.
dery di, bared wedi ei wŷn-galchu: canys Ioan 18.
a ydwyt ti yn eistedd i'm barnu i yn ol y 22.
ddeddf, a c chan droseddu 'r ddeddf yn peri c Lef. 19.
fy nharo i? 35.
4 A'r sefyllwŷr a ddywedasant wrtho, A Deut. 25. 1,
ddifenwi di arch-offeiriad Duw? 2.
5 A dywedodd Paul, Ni wyddwn i, fro-
dyr, mai'r arch-offeiriad oedd efe: canys
ysgrifenedig yw, d Na ddywaid yn ddrwg d Exod. 22.
am bennaeth dy bobl. 28.
6 A phan wybu Paul fod y naill ran o'r
Saduceaid, a'r llall o'r Phariseaid, efe a le-
fodd yn y cynghor, Ha wŷr frodyr, e Phari- e Pen. 24.
sead wyf fi, mab i Pharisead: f am obaith 15. 22. a
ac adgyfodiad y meirw yr ydys yn fy mar- 26. 5.
nu i. Phil. 3. 5.
7 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, bu ym- f Pen. 24.
ryson rhwng y Phariseaid a'r Saduceaid: a 21. a 26. 8.
rhannwyd y lliaws.
8 g Canys y Saduceaid yn wir a ddywed- g Mat. 22.
ant nad oes nac adgyfodiad, nac angel, nac 23.
yspryd: eithr y Phariseaid sydd yn addef Marc 12.
pob un o'r ddau. 18.
Luc 20. 27.
9 A bu llefain mawr, a'r ysgrifenyddion
*o ran* y Phariseaid a godasant i fynu, ac a
ymrysonasant, gan ddywedyd, h Nid ydym h Pen. 25.
ni yn cael dim drwg yn y dyn hwn: eithr 25. a 26. 31.
i os yspryd a lefarodd wrtho, neu angel, i Pen. 22.
k nac ymrysonwn â Duw. 7. 17, 18.
10 Ac wedi cyfodi terfysg mawr, y pen- k Pen. 5.
capten, yn ofni rhag tynnu Paul yn ddryll- 39.
iau ganddynt, a archodd i'r milwŷr fyned i
wared, a'i gipio ef o'u plith hwynt, a'i ddwyn
i'r castell.
11 l Yr ail nos yr Arglwydd a safodd ger l Pen. 18.
llaw iddo, ac a ddywedodd, Paul, cymmer 9.
gysur: canys megis y tystiolaethaist am da-
naf fi yn Jerusalem, felly y mae yn rhaid i
ti dystiolaethu yn Rhufain hefyd.
12 A phan aeth hi yn ddydd, m rhai o'r m Adn. 21.
Iuddewon, wedi llunio cyfarfod, a'u rhwym- 30.
asant eu hunain â diofryd, gan ddywedyd,
na fwyttaent, *ac* nad yfent, nes iddynt ladd
Paul.
13 Ac yr oedd mwy nâ deugain o'r rhai a
wnaethant y cyngrair hwn.
14 A hwy a ddaethant at yr arch-offeir-
iaid a'r henuriaid, ac a ddywedasant, Ni a'n
rhwymasom ein hunain † â diofryd, na ar- † dan felldith.
chwaethem ddim hyd oni laddem Paul.

15 Yn awr gan hynny hyſpyſwch gyd â'r cynghor, i'r pen-capten, fel y dygo efe ef i wared y foru attoch chwi, fel pe byddech ar fedr cael gwybod yn fanylach ei hanes ef: a ninnau, cyn y delo efe yn agos, ydym barod i'w ladd ef.

16 Eithr pan glybu mab chwaer Paul y cynllwyn yma, efe a aeth i mewn i'r caſtell, ac a fynegodd i Paul.

17 A Phaul a alwodd un o'r canwriaid atto, ac a ddywedodd, Dwg y gwr ieuangc hwn at y pen-capten: canys y mae ganddo beth i'w fynegi iddo.

18 Ac efe a'i cymmerth ef, ac a'i dug at y pen-capten; ac a ddywedodd, Paul y carcharor a'm galwodd i atto, ac a ddymunodd arnaf ddwyn y gwr ieuangc yma attat ti, yr hwn sydd ganddo beth i'w ddywedyd wrthyt.

19 A'r pen-capten a'i cymmerodd ef erbyn ei law, ac a aeth *ag ef* o'r neilldu, ac a ofynodd, Beth yw yr hŷn sydd gennyt i'w fynegi i mi?

[n] Adn. 12.
20 Ac efe a ddywedodd, [n] Yr Iuddewon a gyd-fwriadaſant ddeiſyf arnat ddwyn Paul i wared y foru i'r cynghor, fel pe baent ar fedr ymofyn yn fanylach yn ei gylch ef.

21 Ond na chyttuna di â hwynt. Canys y mae yn cynllwyn iddo mwy nâ deugeinwr o honynt, y rhai a roiſant ddïofryd, † na bwytta nac yfed, nes ei ladd ef: ac yn awr y maent hwy yn barod, yn diſgwyl am addewid gennyt ti.

† Neu, *fwytaent, ac nad yfent.*

22 Y pen-capten gan hynny a ollyngodd y gwr ieuangc ymaith, wedi gorchymyn *iddo* ‡ na ddywedai i neb, ddangos o hono y pethau hyn iddo ef.

‡ *Gwel na ddywedych i neb ddangos o honot y pethau hyn i mi.*

23 Ac wedi galw atto ryw ddau ganwriad, efe a ddywedodd, Parottôwch ddau cant o filwŷr, i fyned hyd yn Ceſarea, a deg a thrugain o wŷr meirch, a deucant o ffyn-wewŷr, ar y drydedd awr o'r nos.

24 A pharottôwch yſgrubliaid *iddynt* i oſod Paul arnynt, i'w ddwyn ef yn ddïogel at Ffelix y rhaglaw.

25 Ac efe a 'ſgrifenodd lythyr yn cynnwys yr yſtyriaeth yma:

26 Claudius Lyſias, at yr arddercoccaf raglaw Ffelix, *yn anfon* annerch.

° Pen. 21. 33.
27 ° Y gwr hwn a ddaliwyd gan yr Iuddewon, ac a fu agos a'i ladd ganddynt; ac a achubais i, gan ddyfod â llu arnynt, gwedi deall mai Rhufeiniad oedd.

28 A chan ewyllyſio gwybod yr achos yr oeddynt yn achwyn arno, mi a'i dygais ef i wared i'w cynghor hwynt:

29 Yr hwn y cefais fod yn achwyn arno am § arholion o'u cyfraith hwy, heb fod un cwyn arno yn haeddu angau, neu rwymau.

§ *gweſtiynau.*

30 A phan fynegwyd i mi fod yr Iuddewon ar fedr cynllwyn i'r gwr, myfi a'i hanfonais ef allan o law attat ti; ac a rybuddiais y cyhuddwŷr i ddywedyd y pethau oedd yn ei erbyn ef ger dy fron di. Bydd iach.

31 Yna y milwŷr, megis y gorchymynaſid iddynt, a gymmeraſant Paul, ac a'i dygaſant o hŷd nos i Antipatris.

32 A thrannoeth, gan adael i'r gwŷr meirch fyned gyd ag ef, hwy a ddychwelaſant i'r caſtell.

33 Y rhai, gwedi dyfod i Ceſarea, a rhoddi y llythyr at y rhaglaw, a oſodaſant Paul hefyd ger ei fron ef.

34 Ac wedi i'r rhaglaw ddarllain *y llythyr*, ac ymofyn o ba dalaith yr oedd efe: a gwybod mai o Cilicia yr ydoedd;

35 Mi a'th wrandawaf, eb efe, pan ddelo dy gyhuddwŷr hefyd. Ac efe a orchymynodd ei gadw ef yn nadleudy Herod.

## PEN. XXIV.

1 *Paul, wedi ei gyhuddo gan Tertùlus yr areithiwr,* 10 *yn atteb dros ei fuchedd a'i athrawiaeth:* 24 *yn pregethu Crist i'r rhaglaw a'i wraig.* 26 *Y rhaglaw yn gobeithio cael brib; eithr yn ofer:* 27 *ac o'r diwedd, wrth fyned allan o'i swydd, yn gadael Paul yngharchar.*

AC ar ol pum niwrnod, y daeth [a] Ana- 60.
nïas yr arch-offeiriad i wared, a'r he- [a] Pen. 23. 2.
nuriaid, ac un Tertùlus areithiwr; y rhai a ymddangoſaſant ger bron y rhaglaw yn erbyn Paul.

2 Ac wedi ei alw ef ger bron, Tertùlus a ddechreuodd *ei* gyhuddo *ef*, gan ddywedyd,

3 Gan ein bod ni yn cael trwot ti heddwch mawr, a bod pethau llwyddiannus i'r genedl hon trwy dy ragwelediad di, yr ydym ni yn gwbl, ac ym mhob man, yn *eu* cydnabod, O arddercoccaf Ffelix, gyd â phob dïolch.

4 Eithr, fel na rwyſtrwyf di ym mhellach, yr ydwyf yn deiſyf arnat, o'th hynawſedd, wrando arnom ar fyr eiriau.

5 Oblegid ni a gawſom y gwr hwn yn bla, ac yn cyfodi terfyſg ym mysg yr holl Iuddewon trwy'r byd, ac yn ben ar sect y Nazareniaid:

6 [b] Yr hwn a amcanodd halogi'r deml: [b] Pen. 21. 28.
yr hwn hefyd a ddaliaſom ni, ac a fynnaſem ei farnu yn ol ein cyfraith ni.

7 Eithr Lyſias y pen-capten a ddaeth, a thrwy orthrech mawr a'i dug *ef* allan o'n dwylaw ni:

8 *Ac* a archodd i'w gyhuddwŷr ddyfod ger dy fron di: gan yr hwn, wrth ei holi, y gelli dy hun gael gwybodaeth o'r holl bethau am y rhai yr ydym ni yn achwyn arno.

9 A'r Iuddewon a gyd-syniaſant hefyd, gan ddywedyd, fod y pethau hyn felly.

10 A Phaul a attebodd, wedi i'r rhaglaw amneidio arno i ddywedyd, Gan i mi wybod dy fod di yn farnwr i'r genedl hon er ys llawer o flynyddoedd, yr 53.
ydwyf yn fwy cyſurus yn atteb troſof fy hun. pan ddechreuodd.

11 Canys ti a elli wybod nad oes dros ddeuddeg diwrnod er pan ddaethum i fynu i addoli yn Jeruſalem.

12 [c] Ac ni chawſant fi yn y deml yn ymddadleu â neb, nac yn gwneuthur terfyſg i'r bobl, nac yn y synagogau, nac yn y ddinas: [c] Pen. 25. 8. a 28. 17.

13 Ac ni allant brofi y pethau y maent yn awr yn achwyn arnaf o'u plegid.

14 Ond hyn yr ydwyf yn ei gyffeſu i ti, mai yn ol [d] y ffordd y maent hwy yn ei galw yn heresi, felly yr wyf fi yn addoli Duw fy nhadau; gan gredu yr holl bethau sydd yſgrifenedig yn y ddeddf a'r prophwydi: [d] Edrych Amos 8. 14. Pen. 9. 2.

15 A chennyf obaith ar Dduw, yr hon y mae y rhai hyn eu hunain yn ei diſgwyl, [e] y bydd adgyfodiad y meirw, i'r cyfiawnion ac i'r anghyfiawnion. [e] Dan. 12. 2. Ioan 5. 28, 29.

16 Ac [f] yn hyn yr ydwyf fi fy hun yn ymarfer, i gael cydwybod ddirwyſtr tu ag at Dduw a dynion, yn waſtadol. [f] Pen. 23. 1.

17 Ac ar ol llawer o flynyddoedd, [g] y daethum i wneuthur eluſenau i'm cenedl, ac offrymmau. [g] Pen. 11. 29, 30. a 20. 16. Rhuf. 15. 25. Gal. 2. 10.

h Pen. 21. 26, 27. 18 h Ar hynny rhai o'r Iuddewon o Asia
a'm cawsant i wedi fy nglanhâu yn y deml,
nid gyd â thorf na therfysg.
19 Y rhai a ddylasent fod ger dy fron di,
ac achwyn, os oedd ganddynt ddim i'm her-
byn.
20 Neu ddyweded y rhai hyn eu hunain,
os cawsant ddim camwedd ynof, tra fûm i
yn sefyll o flaen y cynghor.
21 Oddi eithr yr un llef hon a lefais pan
i Pen. 23. 6. a 28. 20. oeddwn yn sefyll yn eu plith; i Am adgy-
fodiad y meirw y'm bernir heddyw gen-
nych.
22 Pan glybu Ffelix y pethau hyn, efe
a'u hoedodd hwynt, gan wybod yn hyspy-
sach y pethau a berthynent i'r ffordd *honno*;
ac a ddywedodd, Pan ddêl Lysias y pen-
capten i wared, mi a gaf wybod eich matte-
rion chwi yn gwbl.
23 Ac efe a archodd i'r canwriad gadw
k Pen. 27. 3 a 28. 16. Paul, a chael o *hono* esmwythdra; ac k na
lesteiriai neb o'r eiddo ef i'w wasanaethu,
nac i ddyfod atto.
24 Ac ar ol talm o ddyddiau, y daeth
Ffelix, gyd â'i wraig Drusila, yr hon yd-
oedd Iuddewes, ac a yrrodd am Paul, ac
a'i gwrandawodd ef ynghylch y ffydd yng
Nghrist.
25 Ac fel yr oedd efe yn ymresymmu am
gyfiawnder, a dirwest, a'r farn a fydd, Ffe-
lix a ddychrynodd, ac a attebodd, Dos
ymaith ar hyn o amser; a phan gaffwyf fi
amser cyfaddas, mi a alwaf am danat.
26 A chan obeithio hefyd y rhoddid arian
iddo gan Paul, er ei ollwng ef yn rhydd: o
herwydd paham efe a anfonodd am dano yn
fynychach, ac a chwedleuodd ag ef.
62. 27 Ac wedi cyflawni dwy flynedd, y
daeth Porcius Ffestus yn lle Ffelix. A
l Pen. 25. 9, 14. l Ffelix yn ewyllysio gwneuthur cym-
mwynas i'r Iuddewon, a adawodd Paul
yn rhwym.

## PEN. XXV.

*2 Yr Iuddewon yn achwyn ar Paul ger bron Ffestus: 8 ac yntau yn atteb trosto ei hun, 11 ac yn appelio at Cesar: 14 ac wedi hynny Ffestus yn hysbysu ei achos ef i frenhin Agrippa, 23 a'i ddwyn ef ger bron. 25 Ffestus yn ei ddibeuno ef, na wnaethai efe ddim a haeddai farwolaeth.*

62. FFESTUS gan hynny, wedi dyfod i'r dal-
aith, ar ol tri diwrnod a aeth i fynu i
Jerusalem o Cesarea.
† *hyspys-odd.* 2 Yna yr † ymddangosodd yr arch-offei-
riad a phennaethiaid yr Iuddewon, ger ei
fron ef, yn erbyn Paul, ac a ymbiliasant
ag ef,
3 Gan geisio ffafr yn ei erbyn ef, fel y
cyrchai efe ef i Jerusalem, gan wneuthur
cynllwyn i'w ladd efe ar y ffordd.
4 A Ffestus a attebodd, y cedwid Paul
yn Cesarea, ac yr ai efe ei hun *yno* ar
fyrder.
5 Y rhai gan hynny a allant yn eich mysg,
eb efe, deuant i wared gyd â mi, ac od oes
dim drwg yn y gwr hwn, cyhuddant ef.
‡ *Neu, Ac wedi trigo yn eu mysg fwy na deng niwrnod.* 6 ‡ A phryd na thrigasai efe gyd â hwy
dros ddeng niwrnod, efe a aeth i wared i
Cesarea; a thrannoeth *efe* a eisteddodd yn
yr orsedd, ac a archodd ddwyn Paul atto.
7 Ac wedi ei ddyfod, yr Iuddewon a
ddaethent o Jerusalem i wared, a safasant
o'i amgylch, ac a ddygasant lawer o ach-
wynion trymion yn erbyn Paul, y rhai ni's
gallent eu profi.

8 Ac yntau yn ei ymddiffyn ei hun, a Ni a Pen. 6. 13. a 24. 12. a 28. 17.
phechais i ddim, nac yn erbyn cyfraith yr
Iuddewon, nac yn erbyn y deml, nac yn
erbyn Cesar.
9 Eithr Ffestus, b yn chwennych dangos b Pen. 24. 27.
ffafr i'r Iuddewon, a attebodd Paul, ac a
ddywedodd, A fynni di fyned i fynu i Je-
rusalem, i'th farnu yno ger fy mron i am y
pethau hyn?
10 A Phaul a ddywedodd, O flaen gor-
sedd-fainge Cesar yr wyf fi yn sefyll, lle y
mae yn rhaid fy marnu; ni wnaethum i
ddim cam â'r Iuddewon, megis y gwyddost
ti yn dda.
11 c Canys os ydwyf yn gwneuthur cam, c Pen. 18. 14.
ac os gwneuthum ddim yn haeddu angau,
nid wyf yn gwrthod marw: eithr onid oes
dim o'r pethau y mae y rhai hyn yn fy nghy-
huddo, ni ddichon neb fy rhoddi iddynt.
d Appèlio yr wyf at Cesar. d Pen. 26. 32.
12 Yna Ffestus, wedi ymddiddan â'r cyn-
ghor, a attebodd, A appèliaist ti at Cesar?
at Cesar y cai di fyned.
13 Ac wedi talm o ddyddiau, Agrippa y
brenhin a Bernice, a ddaethant i Cesarea i
gyfarch Ffestus.
14 Ac wedi iddynt aros yno lawer o ddy-
ddiau, Ffestus a fynegodd i'r brenhin hanes
Paul, gan ddywedyd, e Y mae *yma* ryw wr e Pen. 24. 27.
wedi ei adael gan Ffelix yngharchar:
15 Ynghylch yr hwn, pan oeddwn yn
Jerusalem, yr § ymddangosodd arch-offeir- § *Neu, hyspysodd.*
iaid a henuriaid yr Iuddewon ger bron, gan
ddeisyf *cael* barn yn ei erbyn ef.
16 I'r rhai yr attebais, nad oedd arfer y
Rhufeinwŷr roddi neb rhyw ddyn i'w ddi-
fetha, nes cael o'r cyhuddol ei gyhuddwŷr
yn ei wyneb, a chael lle i'w ymddiffyn ei
hun rhag y cwyn.
17 Wedi eu dyfod hwy yma gan hynny,
heb wneuthur dim oed, trannoeth mi a eist-
eddais ar yr orsedd-fainge, ac a orchymy-
nais ddwyn y gwr ger bron.
18 Am yr hwn ni ddug y cyhuddwŷr i
*fynu* ddim achwyn o'r pethau yr oeddwn i
yn tybied:
19 Ond yr oedd ganddynt yn ei erbyn ef
ryw ymofynion ynghylch eu coel-grefydd eu
hunain, ac ynghylch un Iesu a fuasai farw,
yr hwn a daerai Paul ei fod yn fyw.
20 A myfi, yn ‖ anhyspys i ymofyn am ‖ *petruso ynghylch y cyfryw gwestiwn.*
hyn, a ddywedais, a fynnai efe fyned i Je-
rusalem, a'i farnu yno am y pethau hyn.
21 Eithr gwedi i Paul appèlio i'w gadw
i † wybyddiaeth Augustus, mi a erchais ei † *Neu, farn.*
gadw ef hyd oni allwn ei anfon ef at Ce-
sar.
22 Yna f Agrippa a ddywedodd wrth f Edrych Pen. 9. 15.
Ffestus, Minnau a ewyllysiwn glywed y
dyn. Yntau a ddywedodd, Ti a gai ei gly-
wed ef y foru.
23 Trannoeth gan hynny, wedi dyfod
Agrippa a Bernice, â rhwysg fawr, a my-
ned i mewn i'r orsedd, â'r pen capteniaid,
a phendefigion y ddinas, wrth orchymyn
Ffestus fe a ddygwyd Paul ger bron.
24 A Ffestus a ddywedodd, O frenhin
Agrippa, a chwi wŷr oll sydd gyd â ni yn
bresennol, chwi a welwch y dyn hwn, oble-
gid pa un y galwodd holl liaws yr Iudde-
won arnaf fi, yn Jerusalem ac yma, gan le-
fain, g na ddylai efe fyw yn hŵy. g Pen. 22. 22.
25 Eithr pan ddeallais h na wnaethai efe h Pen. 23. 9. a 26. 31.
ddim yn haeddu angau, ac yntau ei hun
wedi appèlio at Augustus, mi a fernais ei
ddanfon ef.

26 Am yr hwn nid oes gennyf ddim sicr-
wydd i'w ysgrifenu at fy arglwydd. O
herwydd paham mi a'i dygais ef ger eich
bron chwi, ac yn enwedig ger dy fron di, O
frenhin Agrippa; fel, wedi ei holi ef, y
caffwyf ryw beth i'w ysgrifenu.
27 Canys allan o reswm y gwelaf fi anfon
carcharor, heb hyspysu hefyd yr achwynion
*a fyddo* yn ei erbyn ef.

## PEN. XXVI.

2 *Paul, yngŵydd Agrippa, yn dangos ei fuchedd o'i febyd; 12 ac mor rhyfeddol y troisid ac y galwesid ef i fod yn apostol. 24 Ffestus yn taeru ei fod ef wedi ynfydu: yntau ar hynny yn atteb yn llariaidd. 28 Agrippa ymron myned yn Gristion. 31 Yr holl gynnulleidfa yn ei farnu ef yn ddieuog.*

62. AC Agrippa a ddywedodd wrth Paul, Y
mae cennad i ti i ddywedyd drosot dy
hunan. Yna Paul a estynodd ei law, ac a'i
hymddiffynodd ei hun.
2 Yr ydwyf yn fy nhybied fy hun yn
ddedwydd, O frenhin Agrippa, gan fy mod
yn cael fy ymddiffyn fy hun ger dy fron
di heddyw, am yr holl bethau yr achwynir
arnaf gan yr Iuddewon:
3 Yn bendifaddeu gan wybod dy fod di
yn gydnabyddus â'r holl ddefodau a'r
holion sydd ym mhlith yr Iuddewon. O
herwydd paham yr ydwyf yn deisyf arnat
fy ngwrando i yn ddïoddefgar.
4 Fy muchedd i o'm mebyd, yr hon oedd
o'r dechreuad ym mhlith fy nghenedl yn
Jerusalem, a ŵyr yr Iuddewon oll,
5 Y rhai a'm hadwaenent i o'r dechreu
[a] Pen. 23. (os mynnant dystiolaethu) mai yn ol [a] y
6. a 24. 15, sect fanylaf o'n crefydd ni, y bûm i fyw yn
22. Phil. 3. 5. Pharisead.
[b] Gen. 3. 6 Ac yn awr, am obaith [b] yr addewid a
15. a 22. 18. wnaed i'n tadau gan Dduw, yr wyf yn sefyll
a 26. 4. a 49. 10. i'm barnu:
Deut. 18. 15. 7 I'r hwn *addewid* y mae ein deuddeg
2 Sam. 7. 12. llwyth ni, † heb dor yn gwasanaethu *Duw*
Psal. 132. 11. nos a dydd, yn gobeithio dyfod. Am yr
Esay 4. 2. hon obaith yr achwynir arnaf, O frenhin
a 7. 14. a 9. Agrippa, gan yr Iuddewon.
6. a 40. 10. 8 Pa beth? ai anghredadwy y bernir gen-
Jer. 23. 5. nych chwi, y cyfyd Duw y meirw?
a 33. 14. 9 Minnau yn wir a dybiais ynof fy hun,
Ezec. 34. fod yn rhaid i *mi* wneuthur llawer o bethau
23. a 37. 24. yn erbyn enw Iesu o Nazareth.
Dan. 9. 24. Michah 7. 20. 10 [c] Yr hyn hefyd a wneuthum yn Jerusa-
lem: a llawer o'r saint a geuais i mewn car-
† *yn astud.* charau, wedi derbyn awdurdod gan yr
[c] Pen. 8. 3. arch-offeiriaid; ac wrth eu difetha, mi a
roddais farn yn *eu* herbyn.
11 Ac ym mhob synagog yn fynych mi
a'u cospais hwy, ac a'u cymhellais i gablu;
a chan ynfydu yn fwy yn eu herbyn, mi
a'u herlidiais hyd ddinasoedd dïeithr he-
fyd.
[d] Pen. 9. 2. a 22. 6. 12 [d] Ac yn hyn, a myfi yn myned i Dda-
mascus ag awdurdod a chennad oddi wrth
yr arch-offeiriaid,
13 Ar hanner dydd, O frenhin, ar y ffordd,
y gwelais oleuni o'r nef, mwy nâ disgleirdeb
yr haul, yn disgleirio o'm hamgylch, a'r rhai
oedd yn ymdaith gyd â mi.
14 Ac wedi i ni oll syrthio ar y ddaear,
mi a glywais leferydd yn llefaru wrthyf, ac
yn dywedyd yn Hebraeg, Saul, Saul, paham
yr ydwyt yn fy erlid i? Caled *yw* i ti wingo
yn erbyn y symbylau.
15 Ac mi a ddywedais, Pwy wyt ti, Ar-
glwydd? Ac efe a ddywedodd, Myfi *yw*
Iesu, yr hwn yr wyt ti yn ei erlid.
16 Eithr cyfod, a saf ar dy draed: canys
i hyn yr ymddangosais i ti, i'th osod ti yn
weinidog ac yn dyst o'r pethau a welaist, ac
o'r pethau yr ymddangosaf i ti ynddynt;
17 Gan dy wared ti oddi wrth y bobl, a'r
Cenhedloedd, at y rhai yr ydwyf yn dy an-
fon di yr awrhon,
18 [e] I agoryd eu llygaid, ac [f] i'w troi o [e] Esay 35.
dywyllwch i oleuni, ac *o* feddiant Satan at 5. a 42. 7.
Dduw; fel y derbyniont faddeuant pechod- Luc 1. 79. Eph. 1. 18.
au, a [g] chyfran ym mysg y rhai a sancteidd- [f] Col. 1.
iwyd trwy y ffydd sydd ynof fi. 13
19 Am ba achos, O frenhin Agrippa, ni 1 Petr 2.
bûm anufudd i'r weledigaeth nefol: 25.
20 Eithr [h] mi a bregethais i'r rhai yn Da- [g] Eph. 1. 11.
mascus yn gyntaf, ac yn Jerusalem, a thros Col. 1. 12.
holl wlad Judea, ac i'r Cenhedloedd; ar [h] Pen. 9.
iddynt edifarhâu, a dychwelyd at Dduw, 19, 22. a
a gwneuthur [i] gweithredoedd addas i edi- 13, a 14, a 22. 17, 21.
feirwch.
21 O achos y pethau hyn [k] yr Iuddewon [i] Mat. 3. 8.
a'm daliasant i yn y deml, ac a geisiasant [k] Pen. 21. 30.
*fy* lladd *â'u dwylaw eu hun.*
22 Am hynny, wedi i mi gael help gan
Dduw, yr wyf fi yn aros hyd y dydd hwn,
gan dystiolaethu i fychan a mawr, ac heb
ddywedyd dim amgen nag a ddywedasai y
prophwydi a Moses, y deuent i ben;
23 Y dïoddefai Crist, *ac* [l] y byddai efe yn [l] 1 Cor. 15.
gyntaf o adgyfodiad y meirw, ac [m] y dango- 20.
sai oleuni i'r bobl, ac i'r Cenhedloedd. Col. 1. 18. Dat. 1. 5.
24 Ac fel yr oedd efe yn dywedyd y peth- [m] Luc 2.
au hyn trosto, Ffestus a ddywedodd â llef 32.
uchel, Paul, [n] yr wyt ti yn ynfydu; llawer [n] 2 Bren.
o ddysg sydd yn dy yrru di yn ynfyd. 9. 11.
25 Ac efe a ddywedodd, Nid wyf fi yn 1 Cor. 4 10.
ynfydu, *O* ardderchoccaf Ffestus; eithr
geiriau gwirionedd a sobrwydd yr wyf fi yn
eu hadrodd.
26 Canys y brenhin a ŵyr oddi wrth y
pethau hyn, wrth yr hwn yr wyf fi yn
llefaru yn hŷ. O herwydd nid wyf yn tyb-
ied fod dim o'r pethau hyn yn guddiedig
rhagddo; oblegid nid mewn congl y gwnaed
hyn.
27 *Oh* frenhin Agrippa, A wyt ti yn
credu i'r prophwydi? mi a wn dy fod yn
credu.
28 Ac Agrippa a ddywedodd wrth Paul,
Yr wyt ti o fewn ychydig i'm hynnill i fod
yn Gristion.
29 A Phaul a ddywedodd, [o] Mi a ddy- [o] 1 Cor. 7.
munwn gan Dduw, o fewn ychydig, ac yn 7.
gwbl oll, fod nid tydi yn unig, ond pawb
hefyd a'r sydd yn fy ngwrando heddyw, yn
gyfryw ag wyf fi, ond y rhwymau hyn.
30 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, cyfod-
odd y brenhin, a'r rhaglaw, a Bernice, a'r
rhai oedd yn eistedd gyd â hwynt.
31 Ac wedi iddynt fyned o'r neilldu, hwy
a lefarasant wrth eu gilydd, gan ddywedyd,
[p] Nid yw'r dyn hwn yn gwneuthur dim yn [p] Pen. 23.
haeddu angau, neu rwymau. 9. a 25. 25.
32 Yna y dywedodd Agrippa wrth Ffes-
tus, Fe allasid gollwng y dyn yma ymaith,
[q] oni buasai iddo appêlio at Cesar. [q] Pen. 25. 11.

## PEN. XXVII.

1 *Paul, wrth forio tu a Rhufain, 10 yn rhag-ddywedyd perygl y daith; 11 ac heb gael ei goelio: 14 hwythau yn cael eu taflu draw ac yma gan y dymmestl: 41 y llong yn torri arnynt; 22, 34, 44 ac er hynny yn dyfod i gyd i dir, yn ddiangol.*

62.
[a] Pen. 25. 12. A Phan [a] gyttunwyd forio o honom ymaith i'r Ital, hwy a roisant Paul, a rhyw garcharorion eraill, at ganwriad a'i enw Julius, o fyddin Augustus.

2 Ac wedi dringo i long o Adramytium, ar fedr hwylio i dueddau Asia, ni a aethom allan o'r porthladd, a chyd â ni yr oedd
[b] Pen. 19. 29. [b] Aristarchus, Macedoniad o Thessalonica.

3 A thrannoeth ni a ddygwyd i wared i
[c] Pen. 24. 23. a 28. 16. Sidon. A Julius a ymddûg [c] yn garedigol tu ag at Paul, ac a roddes *iddo* gennad i fyned at ei gyfeillion i gael ymgeledd.

4 Ac wedi myned oddi yno, ni a hwyliasom dan Cyprus, am fod y gwyntoedd yn wrthwynebus.

5 Ac wedi hwylio o honom dros y môr sydd ger llaw Cilicia a Pamphylia, ni a ddaethom i Myra, *dinas* yn Lycia.

6 Ac yno y canwriad wedi cael llong o Alexandria yn hwylio i'r Ital, a'n gosododd ni ynddi.

7 Ac wedi i ni hwylio yn anniben lawer o ddyddiau, a dyfod yn brin ar gyfer Cnidus, am na adawai y gwynt i ni;
† Candia. ni a hwyliasom is law † Creta, ar gyfer Salmone.

8 Ac *wedi i ni* yn brin fyned heibio iddi, ni a ddaethom i ryw le a elwir Y porthladdoedd prydferth, yr hwn yr oedd dinas Lasea yn agos iddo.

9 Ac wedi i dalm o amser fyned heibio, a bod morio weithian yn enbyd, o herwydd
‡ Yr ympryd ydoedd ar y degfed dydd o'r seithfed mis, Lev. 23. 27, 29. hefyd ddarfod yr ‡ ympryd weithian, Paul a gynghorodd,

10 Gan ddywedyd wrthynt, *Ha* wŷr, yr wyf yn gweled y bydd yr hynt hon ynghyd â sarhâd a cholled fawr, nid yn unig am y llwyth a'r llong, eithr am ein heinioes ni hefyd.

11 Eithr y canwriad a gredodd i lywydd ac i berchen y llong, yn fwy nag i'r pethau a ddywedid gan Paul.

12 A chan fod y porthladd yn anghyfleus i auafu, y rhan fwyaf a roisant gyngor i ymado oddi yno hefyd, os gallent ryw fodd gyrhaeddyd hyd Phenice, i auafu *yno;* yr hwn sydd borthladd yn Creta, ar gyfer y deau-orllewin, a'r gogledd-orllewin.

13 A phan chwythodd y deheu-wynt yn araf, hwynt-hwy yn tybied cael *eu* meddwl, gan godi *hwyliau,* a foriasant heibio yn agos i Creta.

§ curodd. 14 Ond cyn nemmawr § cyfododd yn ei herbyn hi wŷnt tymhestlog, yr hwn a elwir Euroclydon.

15 A phan gipiwyd y llong, ac heb allu gwrthwynebu 'r gwŷnt, ni a ymroisom, ac a ddygwyd *gyd â'r gwynt.*

16 Ac wedi i ni redeg goris ynys fechan a elwir Clauda, braidd y gallasom gael y bâd:

17 Yr hwn a godasant i fynu, ac a wnaethant gynnorthwyon, gan wregysu y llong oddi danî: a hwy yn ofni rhag syrthio ar sugn-draeth, wedi gostwng yr hwyl, a ddygwyd felly.

18 A ni yn flin iawn arnom gan y dymmestl, drannoeth hwy a ysgafnhasant y llong.

[d] Jonah 1. 5. 19 A'r trydydd *dydd* [d] bwriasom â'n dwylaw ein hunain daclau y llong allan.

20 A phan nad oedd na haul na sêr yn ymddangos dros lawer o ddyddiau, a thymmestl nid bychan yn pwyso *arnom,* pob gobaith y byddem cadwedig a ddygwyd oddi arnom o hynny allan.

21 Ac wedi bod hir ddirwest, yna y safodd Paul yn eu canol hwy, ac a ddywedodd, *Ha* wŷr, chwi a ddylasech wrando arnaf fi, a bod heb ymadaw o Creta, ac ynnill y sarhad yma a'r golled.

22 Ac yr awrhon yr wyf yn eich cynghori chwi i fod yn gysurus: canys ni bydd colled am einioes *un* o honoch, ond am y llong yn unig.

23 Canys safodd yn fy ymyl y nos hon angel Duw, yr hwn a'm piau, a'r hwn yr wyf yn ei addoli,

24 Gan ddywedyd, Nac ofna, Paul; rhaid i ti sefyll ger bron Cesar: ac wele, rhoddes Duw i ti y rhai oll sydd yn morio gyd â thi.

25 Am hynny, *ha* wŷr, cymmerwch gysur: canys yr wyf fi yn credu i Dduw, mai felly y bydd yn ol y modd y dywedwyd i mi.

26 Ond [e] mae yn rhaid ein bwrw ni i [e] Pen. 28. 1.
ryw ynys.

27 Ac wedi dyfod y bedwaredd nos ar ddeg, fe a ddigwyddodd, a ni yn morio yn Adria, ynghylch hanner nos, dybied o'r morwŷr eu bod yn nesâu i ryw wlad.

28 Ac wedi iddynt blymio, hwy a'i cawsant yn ugain gwrhyd: ac wedi myned ychydig pellach, a phlymio drachefn, hwy a'i cawsant yn bymtheg gwrhyd.

29 Ac a hwy yn ofni rhag ‖ i ni syrthio ar ‖ *iddynt.*
leoedd geirwon, wedi iddynt fwrw pedair angor allan o'r llyw, hwy a ddeisyfiasant ei myned hi yn ddydd.

30 Ac fel yr oedd y llongwŷr yn ceisio ffoi allan o'r llong, ac wedi gollwng y bâd i wared i'r môr, yn rhith bod ar fedr bwrw angorau o'r pen blaen i'r llong,

31 Dywedodd Paul wrth y canwriad a'r milwŷr, Onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fod yn gadwedig.

32 Yna y torrodd y milwŷr raffau 'r bâd, ac a adawsant iddo syrthio ymaith.

33 A thra 'r ydoedd hi yn dyddhâu, Paul a eiriolodd ar bawb gymmeryd lluniaeth, gan ddywedyd, Heddyw yw y pedwerydd dydd ar ddeg yr ydych chwi yn disgwyl, ac yn aros ar eich cythlwng, heb gymmeryd dim.

34 O herwydd paham yr ydwyf yn dymuno arnoch gymmeryd lluniaeth; oblegid hyn sydd er iechyd i chwi: canys [f] blewyn [f] 1 Bren. 1. 52.
i'r un o honoch ni syrth oddi ar ei ben. Mat. 10. 30.

35 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a gymmerodd fara, ac [g] a ddiolchodd i Dduw [g] 1 Sam. 9. 13.
yn eu gŵydd hwynt oll, ac a'i torrodd, ac a Ioan 6. 11.
ddechreuodd fwytta. 1 Tim. 4. 3, 4.

36 Ac yr oeddynt bawb wedi myned yn gysurol; a hwy a gymmerasant luniaeth hefyd.

37 Ac yr oeddem yn y llong i gŷd, yn ddau cant ac un ar bymtheg a thrugain o eneidiau.

38 Ac wedi eu digoni o luniaeth, hwy a ysgafnhasant y llong, gan fwrw 'r gwenith allan i'r môr.

39 A phan aeth hi yn ddydd, nid oeddynt yn adnabod y tir: ond hwy a ganfuant ryw gilfach a glan iddi; i'r hon y cynghorasant, os gallent, wthio'r llong iddi.

40 Ac wedi iddynt † godi 'r angorau, † *dorri.*
‡ hwy a ymollyngasant i'r môr, ac a ollyngasant hefyd yn rhŷdd rwymau 'r llyw, ac a godasant yr hwyl i'r gwŷnt, ac a geisiasant y lan. ‡ *gollyngasant i'r môr.*

41 Ac wedi i *ni* syrthio ar le deufor-gyfarfod, [h] hwy a wthiasant y llong: a'r pen [h] 2 Cor. 11. 25.
blaen iddi a lynodd, ac a safodd yn ddïysgog,

eithr y pen ol a ymddattododd gan nerth y
tonnau.
42 A chyngor y milwŷr oedd, ladd y car-
charorion, rhag i neb o honynt nofio allan,
a dïangc ymaith.
43 Ond y canwriad, yn ewyllysio cadw
Paul, a rwystrodd iddynt *eu* hamcan; ac a
archodd i bawb a'r a fedrai nofio, ymfwrw
yn gyntaf *i'r môr*, a myned allan i'r tir:
44 Ac i'r lleill, rhai ar ystyllod, ac eraill
ar ryw *ddrylliau* o'r llong. Ac felly y di-
gwyddodd dyfod o bawb i dir yn ddïangol.

## PEN. XXVIII.

*1 Paul, wedi torri y llong arno, yn cael ei dderbyn yn rhywiogaidd gan y barbariaid. 5 Y wiber, ar ei law ef, heb wneuthur iddo niweid: 8 ac yntau yn iachâu llawer o glefydau yn yr ynys. 11 Hwynt-hwy yn myned ymaith tu a Rhufain. 17 Yntau yn mynegi i'r Iuddewon achos ei ddyfodiad. 24 Wedi iddo bregethu, rhai yn credu, a rhai heb gredu: 30 ac yntau er hynny yn pregethu yno ddwy flynedd.*

62. AC wedi iddynt ddïangc, yna y gwybuant
† *Malta.* mai † Melita y gelwid [a] yr ynys.
[a] Pen. 27. 26. 2 A'r barbariaid a ddangosasant i ni fwyn-
eidd-dra nid bychan: oblegid hwy a gyn-
neuasant dân, ac a'n derbyniasant ni oll
o herwydd y gawod gynhyrchiol, ac o her-
wydd yr oerfel.
3 Ac wedi i Paul gynnull ynghŷd lawer
‡ *grin-ellau.* o ‡ friw-wŷdd, a'u dodi ar y tân, gwiber
a ddaeth allan o'r gwres, ac a lynodd wrth
ei law ef.
4 A phan welodd y barbariaid y bwystfil
ynghrôg wrth ei law ef, hwy a ddywed-
asant wrth eu gilydd, Yn sicr llawruddiog
yw y dyn hwn, yr hwn, er ei ddïangc o'r
môr, ni adawodd dïaledd iddo fyw.
5 Ac efe a ysgydwodd y bwystfil i'r tân,
[b] Marc 16. 18. ac [b] ni oddefodd ddim niweid.
Luc 10. 19. 6 Ond yr oeddynt hwy yn disgwyl iddo
ef chwyddo, neu syrthio yn ddisymmwth
yn farw. Eithr wedi iddynt hir-ddisgwyl,
a gweled nad oedd dim niweid yn digwydd
iddo, hwy a newidiasant eu meddwl, ac
[c] Pen. 14. 11. [c] a ddywedasant mai duw oedd efe.
7 Ynghylch y man hwnnw yr oedd tir-
oedd i bennaeth yr ynys, a'i enw Publius,
yr hwn a'n derbyniodd ni, ac a'n llettyodd
dridiau yn garedig.
8 A digwyddodd, fod tad Publius yn
gorwedd yn glaf o gryd a gwaedlif: at yr
[d] Iago 5. 14, 15. hwn wedi i Paul fyned i mewn, a [d] gwe-
ddïo, efe a ddododd ei ddwylaw arno ef, ac
a'i hiachaodd.
9 Felly wedi gwneuthur hyn, y lleill he-
fyd y rhai oedd â heintiau arnynt yn yr
ynys, a ddaethant atto, ac a iachawyd:
10 Y rhai hefyd a'n parchasant ni â lla-
wer o urddas; a phan oeddym yn ymadael,
hwy a'n llwythasant *ni* â phethau angen-
rheidiol.
63. 11 Ac wedi tri mis, yr aethom ymaith
mewn llong o Alexandria, yr hon a auafasai
yn yr ynys; a'i harwydd hi oedd Castor a
Pholux.
12 Ac wedi ein dyfod i Syracusa, ni a
drigasom *yno* dridiau.
13 Ac oddi yno wedi myned oddi am-
gylch, ni a ddaethom i Rhegium. Ac ar ol
un diwrnod y deheu-wŷnt a chwŷthodd, ac
ni a ddaethom yr ail dydd i Puteoli:
14 Lle y cawsom frodyr, ac y dymunwyd
arnom aros gyd â hwynt saith niwrnod: ac
felly ni a ddaethom i Rufain.
15 Ac oddi yno, pan glybu'r brodyr am
danom, hwy a ddaethant i'n cyfarfod ni
hyd Appii-fforum, a'r Tair tafarn: y rhai
pan welodd Paul, efe a ddiolchodd i Dduw,
ac a gymmerodd gysur.
16 Eithr pan ddaethom i Rufain, y can-
wriad a roddes y carcharorion at ben-capten
y llu: eithr [e] cenhadwyd i Paul aros wrtho [e] Pen. 4.
ei hun, gyd â milwr oedd yn ei gadw ef. 23. a 27. 3.
17 A digwyddodd, ar ol tridiau, alw o
Paul ynghŷd y rhai oedd bennaf o'r Iu-
ddewon. Ac wedi iddynt ddyfod ynghŷd,
efe a ddywedodd wrthynt, *Ha* wŷr frodyr,
er na wnaethum i ddim yn erbyn y bobl,
na defodau y tadau, etto [f] mi a roddwyd [f] Pen. 21. 33.
yn garcharor o Jerusalem i ddwylaw y
Rhufeinwŷr.
18 Y rhai, [g] wedi darfod fy holi, a fyn- [g] Pen. 22.
nasant *fy* ngollwng ymaith, am nad oedd 24. a 24.
dim achos angau ynof. 10. a 25. 8. a 26. 31.
19 Eithr am fod yr Iuddewon yn dywed-
yd yn erbyn *hyn*, [h] mi a yrrwyd i appèlio [h] Pen. 25.
at Cesar; nid fel pettai gennyf beth i 11.
achwyn ar fy nghenedl.
20 Am yr achos hwn gan hynny y gel-
wais am danoch chwi, i'*ch* gweled, ac i ym-
ddiddan â *chwi*: canys [i] o achos gobaith Is- [i] Pen. 26.
rael y'm rhwymwyd i â'r [k] gadwyn hon. 6, 7.
21 A hwythau a ddywedasant wrtho, Ni [k] Pen. 26.
dderbyniasom ni lythyrau o Judea yn dy 29.
gylch di, ac ni fynegodd ac ni lefarodd neb Eph. 2. 20. a 6. 20.
o'r brodyr a ddaeth oddi yno ddim drwg am 2 Tim. 1.
danat ti. 16.
22 Ond yr ydym ni yn deisyf cael clyw-
ed gennyt ti beth yr ydwyt yn ei synied:
oblegid am y sect hon, y mae yn hyspys i
ni fod [l] ym mhob man yn dywedyd yn ei [l] Pen. 24.
herbyn. 5, 14.
23 Ac wedi iddynt § nodi diwrnod iddo, § *bennu.*
llawer a ddaeth atto ef i'w letty; i'r rhai
y tystiolaethodd ac yr eglurodd efe deyrnas
Dduw, gan gynghori iddynt y pethau am
yr Iesu, [m] allan o gyfraith Moses, a'r pro- [m] Edrych
phwydi, o'r bore hyd yr hwyr. ar Pen. 26. 6, 22.
24 A [n] rhai a gredasant i'r pethau a ddy- [n] Pen. 17.
wedasid, a rhai ni chredasant. 4.
25 Ac a hwy yn anghyttûn â'u gilydd,
hwy a ymadawsant, wedi i Paul ddywedyd
un gair, *mai* da y llefarodd yr Yspryd Glàn
trwy Esaias y prophwyd, wrth ein tadau ni,
26 Gan ddywedyd, [o] Dos at y bobl yma, [o] Esay 6. 9.
a dywaid, Yn clywed y clywch, ac ni Mat. 13. 14.
ddeallwch; ac yn gweled y gwelwch, ac ni Marc 4. 12. Luc 8. 10.
chanfyddwch. Ioan 12. 40.
27 Canys brasawyd calon y bobl hyn, a Rhuf. 11. 8.
thrwm y clywsant â'u clustiau, a'u llygaid
a gauasant; rhag iddynt weled â'*u* llygaid,
a chlywed â'*u* clustiau, a deall â'r galon, a
dychwelyd, ac i mi eu hiachâu hwynt.
28 Bydded hyspys i chwi gan hynny, an-
fon iachawdwriaeth Dduw [p] at y Cenhedl- [p] Pen. 13.
oedd; a hwy a wrandawant. 46. a 18. 6.
29 Ac wedi iddo ddywedyd hyn, yma-
dawodd yr Iuddewon, a chanddynt ddadl
mawr yn eu plith.
30 A Phaul a arhoes ddwy flynedd gyfan 65.
yn ei dŷ ardrethol ei hun, ac a dderbyniodd
bawb a'r oedd yn dyfod i mewn atto,
31 Gan bregethu teyrnas Dduw, ac ath-
rawiaethu y pethau am yr Arglwydd Iesu
Grist, [q] gyd â phob hyfder, yn ddïwahardd. [q] Pen. 4. 31.

# ¶ Epistol PAUL yr Apostol at y RHUFEINIAID.

## PEN. I.

*1 Paul yn dangos ei alwedigaeth i'r Rhufeiniaid, 9 a'i chwant i ddyfod attynt hwy. 16 Beth yw ei efengyl ef, a'r cyfiawnder y mae hi yn ei ddangos. 18 Bod Duw yn ddigllon wrth bob math ar bechod. 21 Pa beth oedd pechodau y Cenhedloedd.*

Bl. yr Argl. 60.

PAUL gwasanaethwr Iesu Grist, wedi ei
alw *i fod* yn apostol, *ac* wedi ei [a] neilldao
i efengyl Dduw,
2 ([b] Yr hon a rag-addawsai efe trwy ei
brophwydi yn yr ysgrythyrau sanctaidd)
3 Am ei Fab ef Iesu Grist ein Harglwydd
ni, [c] yr hwn [d] a wnaed o had Dafydd o
ran y cnawd,
4 Ac [e] a † eglurwyd yn Fab Duw mewn
gallu, yn ol yspryd sancteiddiad, trwy'r
adgyfodiad oddi wrth y meirw:
5 Trwy yr hwn [f] y derbyniasom ras ac
apostoliaeth i [g] ufudd-dod ffydd ym mhlith
yr holl genhedloedd, er mwyn ei enw
ef:
6 Ym mysg y rhai yr ydych chwithau yn
alwedigion Iesu Grist.
7 At bawb sydd yn Rhufain, yn anwyl
gan Dduw, [h] wedi eu galw *i fod* yn
saint: [i] Gras i chwi a thangnefedd oddi
wrth Dduw ein Tad ni, a'r Arglwydd
Iesu Grist.
8 Yn gyntaf, [k] yr wyf yn diolch i'm
Duw trwy Iesu Grist drosoch chwi oll,
oblegid [l] bod eich ffydd chwi yn gyhoeddus
yn yr holl fyd.
9 Canys [m] tyst i mi yw Duw, [n] yr hwn
yr ydwyf yn ei wasanaethu ‡ yn fy yspryd
yn efengyl ei Fab ef, fy mod i [o] yn ddibaid
yn gwneuthur coffa o honoch bob amser yn
fy ngweddiau,
10 [p] Gan ddeisyf a gawn ryw fodd, ryw
amser bellach, rwydd-hynt gyd ag ewyllys
Duw, i ddyfod attoch chwi.
11 Canys yr wyf yn hiraethu am eich
gweled, fel [q] y gallwyf gyfrannu i chwi ryw
ddawn ysprydol, fel y'ch cadarnhaer:
12 A hynny sydd i'm cyd-ymgysuro
§ ynoch chwi, trwy [r] ffydd ein gilydd,
yr eiddoch chwi a'r eiddof finnau.
13 Eithr ni fynnwn i chwi fod heb
wybod, frodyr, i mi yn fynych arfaethu
dyfod attoch (ond [s] fo'm lluddiwyd i hyd
yn hyn) fel y cawn ryw ffrwyth ynoch
chwi hefyd, megis ag yn y Cenhedloedd
eraill.
14 [t] Dyledwr ydwyf i'r Groegiaid ac i'r
barbariaid hefyd, i'r doethion ac i'r annoethion
hefyd.
15 Felly, hyd y mae ynof fi, parod ydwyf
i bregethu'r efengyl i chwithau hefyd y rhai
ydych yn Rhufain.
16 Canys [u] nid oes arnaf gywilydd o efengyl
Grist: oblegid [x] gallu Duw yw hi er
iachawdwriaeth, i bob un a'r sydd yn credu;
i'r Iuddew [y] yn gyntaf, a hefyd i'r Groegwr.
17 Canys [z] ynddi hi y datguddir cyfiawnder
Duw o ffydd i ffydd; megis y mae
yn ysgrifenedig, [a] Y cyfiawn a fydd byw
trwy ffydd.
18 Canys digofaint Duw a ddatguddiwyd
o'r nef yn erbyn pob annuwioldeb ac anghyfiawnder
dynion, y rhai sydd yn attal y
gwirionedd mewn anghyfiawnder.
19 O herwydd [b] yr hyn a ellir ei wybod
am Dduw, sydd eglur ‖ ynddynt hwy:
canys [c] Duw a'i heglurodd iddynt.

[a] Act. 9. 15. a 13. 2. Gal. 1. 15.
[b] Act. 26. 6.
[c] Mat. 1. 6, 16. Luc 1. 32. Act. 2. 30. 2 Tim. 2. 8.
[d] Gal. 4. 4.
[e] Act. 13. 33.
† derfynwyd.
[f] Pen. 12. 3. a 15. 15.
[g] Pen. 16. 26.
[h] 1 Cor. 1. 2.
[i] Gal. 1. 3.
[k] Phile. 4.
[l] 1 Thess. 1. 8.
[m] Pen. 9. 1.
[n] 2 Tim. 1. 3.
‡ Neu, â'm hyspryd.
[o] 1 Thess. 3. 10.
[p] Pen. 15. 23. 1 Thess. 3. 10.
[q] Pen. 15. 29.
§ gyd â chwi.
[r] Tit. 1. 4. 2 Petr 1. 1.
[s] Act. 16. 7.
[t] 1 Cor. 9. 16.
[u] Psal. 40. 9, 10. 2 Tim. 1. 8.
[x] 1 Cor. 1. 18. a 15. 2.
[y] Act. 3. 26. a 13. 46.
[z] Pen. 3. 21.
[a] Hab. 2. 4. Col. 3. 6.
[b] Act. 14. 17.
‖ iddynt.
[c] Ioan 1. 9.

20 Canys [d] ei anweledig bethau ef er
creadigaeth y byd, wrth ei hystyried yn y
pethau a wnaed, a welir yn amlwg; *sef* ei
dragywyddol allu ef a'i Dduwdod; † hyd
onid ydynt yn ddiesgus:
21 Oblegid a hwy yn adnabod Duw, ni's
gogoneddasant ef megis Duw, ac na buont
ddiolchgar iddo; eithr [e] ofer fuont yn eu
rhesymmau, a'u calon anneallus hwy a dywyllwyd.
22 Pan dybient eu bod yn ddoethion, hwy
a aethant yn ffyliaid;
23 Ac [f] a newidiasant ogoniant yr anllygredig
Dduw, i gyffelybiaeth llun dyn
llygredig, ac ehediaid, ac anifeiliaid pedwar-carnol,
ac ymlusgiaid.
24 [g] O ba herwydd Duw hefyd a'u
rhoddes hwy i fynu, yn nhrachwantau eu
calonnau, i aflendid, [h] i ammherchi eu
cyrph eu hun [i] yn eu plith eu hunain:
25 Y rhai a newidiasant wirionedd Duw
[k] yn gelwydd, ac a addolasant ac a wasanaethasant
y creadur yn ‡ fwy na'r
Creawdr, yr hwn sydd fendigedig yn dragywyddol.
Amen.
26 Oblegid hyn y rhoddes Duw hwynt
i fynu i [l] wyniau gwarthus: canys eu
§ gwragedd hwy a newidiasant yr arfer
‖ anianol i'r hon sydd yn erbyn † anian:
27 Ac yn gyffelyb y ‡ gwŷr hefyd, gan
adael yr arfer naturiol o'r wraig, a ymlosgent
yn eu hawydd i'w gilydd: y gwŷr
ynghŷd â gwŷr yn gwneuthur brynti, ac
yn derbyn ynddynt eu hunain y cyfryw dâl
am eu cyfeiliorni ag ydoedd raid.
28 [m] Ac megis nad oedd gymmeradwy
ganddynt § gadw Duw yn *eu* gwybodaeth,
Duw a'u rhoddes hwynt i fynu i feddwl
anghymmeradwy, i wneuthur y pethau nid
oedd weddaidd:
29 Wedi eu llenwi â phob anghyfiawnder,
godineb, anwiredd, cybydd-dod, drygioni;
yn llawn cynfigen, llofruddiaeth, cynnen,
twyll, drwg-anwydau.
30 Yn hustyngwŷr, yn athrodwŷr, yn
gas ganddynt Dduw, yn drahaus, yn feilchion,
yn ffrostwŷr, yn ddychymygwŷr drygioni,
yn anufudd i rieni,
31 Yn anneallus, yn dorrwŷr ammod,
yn ‖ angharedig, yn anghymmodlon, yn
annhrugarogion:
32 Y rhai yn gwybod cyfiawnder Duw (fod
y rhai sy yn gwneuthur y cyfryw bethau yn
haeddu marwolaeth) *ydynt* nid yn unig yn
gwneuthur y pethau hyn, eithr hefyd [n] yn
† cyd-ymfoddloni â'r rhai sy yn eu gwneuthur
hwynt.

## PEN. II.

*1 Na all y rhai sydd yn pechu, er eu bod yn condemnio pechod mewn eraill, mo'u hesgusodi eu hunain; 6 ac mai anhawdd o lawer iddynt ddiangc rhag barn Duw, 9 pa un bynnag font ai Iuddewon ai Cenhedloedd. 14 Na's gall y Cenhedloedd ddiangc, 17 na'r Iuddewon chwaith; 25 ac na wna eu henwaediad lesâd iddynt, oni chadwant y ddeddf.*

O Herwydd paham diesgus wyt ti, O ddyn,
pwy bynnag wyt yn barnu: [a] canys yn
yr hyn yr wyt yn barnu arall, yr wyt yn dy
gondemnio dy hun: canys ti yr hwn wyt yn
barnu, wyt yn gwneuthur yr un pethau.
2 Eithr ni a wyddom fod barn Duw yn
ol gwirionedd, yn erbyn y rhai a wnant
gyfryw bethau.

[d] Psal. 19. 1. Act. 14. 17. a 17. 27.
† fel y byddent.
[e] Eph. 4. 17, 18.
[f] Psal. 106. 20. Jer. 2. 11. Ezec. 8. 10.
[g] Psal. 81. 12. Doeth. 12. 23. Act. 7. 42. 2 Thess. 2. 11, 12.
[h] 1 Thess. 4. 4.
[i] Lef. 18. 22.
[k] Amos 2. 4.
‡ hytrach.
[l] Lef. 18. 22, 23. Eph. 5. 12.
§ benywaid.
‖ naturiol.
† naturiaeth.
‡ gwrywiaid.
[m] Doeth. 14. 22, 23, &c.
§ Neu, gydnabod Duw.
‖ ddigariad.
[n] Hos. 7. 3.
† Neu, cyd-synio.
60.
[a] 2 Sam. 12. 5. Mat. 7. 2.

3 Ac a wyt ti yn tybied hyn, O ddyn, yr hwn wyt yn barnu y rhai sy yn gwneuthur y cyfryw bethau, a thithau yn gwneuthur yr un pethau, y dïengi di rhag barn Duw?

4 Neu a wyt ti yn dïystyru golud ei ddaioni ef, a'i ddïoddefgarwch, [b] a'i ymaros, [c] heb wybod fod daioni Duw yn dy dywys di i edifeirwch?

5 Eithr yn ol dy galedrwydd, a'th galon ddïedifeiriol, wyt [d] yn trysori i ti dy hun ddigofaint erbyn dydd y digofaint, a datguddiad cyfiawn farn Duw,

6 [e] Yr hwn a dâl i bob un yn ol ei weithredoedd:

7 *Sef* i'r rhai trwy barhâu yn gwneuthur da, a geisiant ogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth; bywyd tragywyddol:

8 Eithr i'r rhai sy gynhennus, ac [f] anufudd i'r gwirionedd, eithr yn ufudd i anghyfiawnder; *y bydd* llid, a digofaint:

9 Trallod ac ing ar bob enaid dyn sydd yn gwneuthur drwg; yr Iuddew [g] yn gyntaf, a'r † Groegwr hefyd:

10 Eithr gogoniant, ac anrhydedd, a thangnefedd, i bob un sydd yn gwneuthur daioni; i'r Iuddew yn gyntaf, ac i'r ‡ Groegwr hefyd.

11 Canys [h] nid oes derbyn wyneb ger bron Duw.

12 Oblegid cynnifer ag a bechasant yn ddiddeddf, a gyfrgollir hefyd yn ddiddeddf; a chynnifer ag a bechasant yn y ddeddf, a fernir wrth y ddeddf,

13 (Canys [i] nid gwrandawŷr y ddeddf *sydd* gyfiawn ger bron Duw, ond gwneuthurwŷr y ddeddf a gyfiawnheir.

14 Canys pan yw'r Cenhedloedd y rhai nid yw y ddeddf ganddynt, wrth naturiaeth yn gwneuthur y pethau sydd yn y ddeddf, y rhai hyn heb fod y ddeddf ganddynt, ydynt ddeddf iddynt eu hunain:

15 Y rhai sydd yn dangos gweithred y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonnau, a'u cydwybod yn cyd-dystiolaethu, *a'u* meddyliau § yn cyhuddo eu gilydd, neu yn esgusodi)

16 [k] Yn y dydd y barno Duw ddirgeloedd dynion, yn ol fy efengyl i, [l] trwy Iesu Grist.

17 Wele, Iuddew y'th elwir di, ac [m] yr wyt yn gorphwys yn y ddeddf, ac yn gorfoleddu yn Nuw;

18 Ac yn gwybod *ei* ewyllys *ef*, ac [n] yn ‖ darbod pethau rhagorol, gan fod wedi dy addysgu o'r ddeddf;

19 Ac yr wyt yn coelio dy fod yn dywysog i'r deillion, yn llewyrch i'r rhai *sydd* mewn tywyllwch:

20 Yn athraw i'r anghall, yn ddysgawdr i'r rhai bach, a chennyt [o] ffurf y gwybodaeth, a'r gwirionedd yn y ddeddf.

21 [p] Tydi, gan hynny, yr hwn wyt yn addysgu arall, oni'th ddysgi dy hun? yr hwn wyt yn pregethu, Na ladratter, a ladretti di?

22 Yr hwn wyt yn dywedyd, Na odineber, a odinebi di? yr hwn wyt yn ffieiddio delwau, a gyssegr-yspeili di?

23 Yr hwn wyt [q] yn gorfoleddu yn y ddeddf, trwy dorri'r ddeddf a ddïanrhydeddi di Dduw?

24 Canys enw Duw, o'ch plegid chwi, a gablir ym mhlith y Cenhedloedd; megis y mae [r] yn ysgrifenedig.

25 Canys enwaediad yn wir a wna les, os cedwi y ddeddf: eithr os troseddwr y ddeddf ydwyt, aeth dy enwaediad yn ddïenwaediad.

26 Os y dïenwaediad gan hynny a geidw gyfiawnderau y ddeddf, oni chyfrifir ei ddïenwaediad ef yn enwaediad?

27 Ac oni bydd i'r dïenwaediad yr hwn sydd o naturiaeth (os ceidw y ddeddf) dy farnu di, yr hwn wrth y llythyren a'r enwaediad wyt yn troseddu'r ddeddf?

28 Canys [s] nid yr hwn sydd yn yr amlwg sydd Iuddew; ac nid enwaediad *yw yr hyn* sydd yn yr amlwg yn y cnawd:

29 Eithr [t] yr hwn sydd yn y dirgel *sydd* Iuddew; ac [u] enwaediad y galon *sydd* [x] yn yr yspryd, nid yn y llythyren; [y] yr hwn *y mae* ei glod nid o ddynion, ond o Dduw.

[b] 2 Petr 3. 15.
[c] Esay 30. 18.
[d] Iago 5. 3.
[e] Job 34. 11. Psal. 62. 12. Jer. 17. 10. a 32. 19. Mat. 16. 27. Pen. 14. 12. Dat. 22. 12.
[f] 2 Thess. 1. 8.
[g] Amos 3. 2. Luc 12. 47, 48. 1 Petr 4. 17.
† *Cenhedlddyn.*
‡ *Cenhedlddyn.*
[h] Deut. 10. 17.
[i] Mat. 7. 21. Iago 1. 22, 23, 25.
§ *rhyngddynt a'u gilydd yn cyhuddo, neu, yn esgusodi.*
[k] Mat. 25. 31. 1 Cor. 4. 5.
[l] Ioan 5. 22. Act. 17. 31.
[m] Michah 3. 11. Pen. 9. 4.
[n] Phil. 1. 10.
‖ *profi pethau a gwahaniaeth rhyngddynt.*
[o] Pen. 6. 17. 2 Tim. 1. 13. a 3. 5.
[p] Psal. 50. 16, &c.
[q] Adn. 17.
[r] 2 Sam. 12. 14. Esay 52. 5. Ezec. 36. 20, 23.
[s] Ioan 8. 39. Pen. 9. 6, 7. Gal. 6. 15. Dat. 2. 9.
[t] 1 Petr 3. 4.
[u] Col. 2. 11. Phil. 3. 3.
[x] Pen. 7. 6. 2 Cor. 3. 6, 7.
[y] 1 Cor. 4. 5. 2 Cor. 10. 18. 1 Thess. 2. 4.

## PEN. III.

1 *Rhagor-fraint yr Iuddewon;* 3 *yr hwn ni chollasant;* 9 *er hynny y mae'r ddeddf yn eu barnu hwythau hefyd yn euog o bechod:* 20 *gan hynny ni chyfiawnheir un cnawd trwy'r ddeddf;* 28 *eithr pawb, heb wahaniaeth, trwy ffydd yn unig:* 31 *ac etto ni ddiddymmwyd y ddeddf.*

PA ragoriaeth gan hynny sydd i'r Iuddew? 60.
neu pa fudd *sydd* o'r enwaediad?

2 Llawer ym mhob rhyw fodd: yn gyntaf, o herwydd [a] darfod ymddiried iddynt hwy am ymadroddion Duw.

3 Oblegid beth os [b] anghredodd rhai? [c] a wna eu hanghrediniaeth hwy ffydd Duw yn ofer?

4 Na atto Duw: eithr [d] bydded Duw yn eirwir, a [e] phob dyn yn gelwyddog; megis yr ysgrifenwyd, [f] Fel y'th gyfiawnhaer yn dy eiriau, ac y gorfyddech † pan y'th farner.

5 Eithr os yw ein hanghyfiawnder ni yn canmol cyfiawnder Duw, pa beth a ddywedwn? Ai anghyfiawn *yw* Duw, yr hwn sydd yn dwyn arnom ddigofaint? (yn ol dyn yr wyf yn dywedyd)

6 Na atto Duw: canys wrth hynny [g] pa fodd y barna Duw y byd?

7 Canys os bu gwirionedd Duw trwy fy nghelwydd i yn helaethach i'w ogoniant ef, paham y'm bernir innau etto megis pechadur?

8 Ac nid (megis y'n ceblir, ac megis y dywaid rhai ein bod yn dywedyd) Gwnawn ddrwg, fel y dêl daioni? y rhai y mae eu damnedigaeth yn gyfiawn.

9 Beth gan hynny? a ydym ni fwy rhagorol? Nac *ydym* ddim: canys ni a brofasom o'r blaen [h] fod pawb, yr Iuddewon a'r Groegwŷr, dan bechod;

10 Megis y mae yn ysgrifenedig, [i] Nid oes neb cyfiawn, nac oes un:

11 Nid oes neb yn deall; nid oes neb yn ceisio Duw.

12 Gwyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol; nid oes un yn gwneuthur daioni, nac oes un:

13 [k] Bedd agored *yw* eu ceg; â'u tafodau y gwnaethant ddichell; [l] gwenwyn aspiaid *sydd* dan eu gwefusau:

14 [m] Y rhai y mae eu genau yn llawn melldith a chwerwedd.

15 [n] Buan *yw* eu traed i dywallt gwaed.

16 Distryw ac aflwydd *sydd* yn eu ffyrdd:

17 A ffordd tangnefedd nid adnabuant.

18 [o] Nid oes ofn Duw ger bron eu llygaid.

19 Ni a wyddom hefyd am ba bethau bynnag y mae'r ddeddf yn ei ddywedyd, mai wrth y rhai sy dan y ddeddf y mae hi

[a] Psal. 147. 19, 20. Pen. 9. 4.
[b] Heb. 4. 2.
[c] Num. 23. 19. Pen. 9. 6. 2 Tim. 2. 13.
[d] Ioan 3. 33.
[e] Psal. 62. 9. a 116. 11.
[f] Psal. 51. 4.
† *pan farnech.*
[g] Gen. 18. 25.
[h] Gal. 3. 22.
[i] Psal. 14. 1, 2, 3. a 53. 1.
[k] Psal. 5. 9.
[l] Psal. 140. 3.
[m] Psal. 10. 7.
[n] Diar. 1. 16. Esay 59. 7, 8.
[o] Psal. 36. 1.

[p] Ezec. 16. yn ei ddywedyd: fel [p] y caner pob genau,
63. ac y byddo yr holl fyd † dan farn Duw.
† *yn euog o flaen Duw.* 20 Am hynny [q] trwy weithredoedd y
ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei
[q] Gal. 2. 16. olwg ef; canys [r] trwy 'r ddeddf *y mae* ad-
nabod pechod.
[r] Pen. 7. 7. 21 Ac yr awrhon [s] yr eglurwyd cyf-
[s] Pen. 1. 17. iawnder Duw heb y ddeddf, wrth gael ty-
Phil. 3. 9. stiolaeth gan y ddeddf a'r prophwydi;
22 Sef cyfiawnder Duw, *yr hon sydd* trwy
ffydd Iesu Grist i bawb, ac ar bawb a gre-
[t] Pen. 10. 12. dant: canys [t] nid oes gwahaniaeth.
Gal. 3. 28. 23 Oblegid [u] pawb a bechasant, ac ydynt
Col. 3. 11. yn ol am ogoniant Duw;
[u] Pen. 11. 24 A hwy wedi eu cyfiawnhâu yn rhad
32. trwy ei ras ef, trwy 'r prynedigaeth sydd
Gal. 3. 22. yng Nghrist Iesu:
‡ *rag-ordeinio-dd.* 25 Yr hwn a ‡ osododd Duw yn § iawn,
trwy ffydd yn ei waed ef, i ddangos ei gyf-
§ *gymmod, gymmodwr.* iawnder ef, trwy faddeuant [x] y pechodau a
wnaethid o'r blaen, trwy ddioddefgarwch
[x] Act. 17. Duw;
30. 26 I ddangos ei gyfiawnder ef y pryd
Heb. 9. 15. hwn; fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn
cyfiawnhâu y neb sydd o ffydd Iesu.
[y] 1 Cor. 1. 27 [y] Pa le gan hynny *y mae* y gorfoledd?
29, 31. Efe a gauwyd allan. Trwy ba ddeddf? ai
Eph. 2. 9. 2 Tim. 1. 9. *deddf* gweithredoedd? Nag e; eithr trwy
Tit. 3. 5. ddeddf ffydd.
28 Yr ydym ni gan hynny yn cyfrif
[z] Act. 13. 38. [z] mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn, heb
weithredoedd y ddeddf.
Pen. 8. 3. Gal. 2. 16. 29 Ai i'r Iuddewon *y mae efe* yn Dduw
yn unig? onid *yw* i'r Cenhedloedd hefyd?
Yn wir *y mae efe* i'r Cenhedloedd hefyd:
30 Gan mai un Duw *sydd*, yr hwn a
gyfiawnhâ yr enwaediad wrth ffydd, a'r
dienwaediad trwy ffydd.
31 Wrth hynny, a ydym ni yn gwneuthur
y ddeddf yn ddirym trwy ffydd? Na atto
Duw: eithr yr ydym yn cadarnhâu 'r ddeddf.

## PEN. IV.

1 *Ffydd Abraham a gyfrifwyd iddo yn gyfiawnder,* 10 *cyn enwaedu arno.* 13 *Trwy ffydd yn unig y derbyniodd efe a'i had yr addewid.* 16 *Abraham yw tad pawb a'r sydd yn credu.* 24 *Ein ffydd ninnau hefyd a gyfrifir i ni yn gyfiawnder.*

60. PA beth gan hynny a ddywedwn ni ddar-
[a] Esay 51. fod i [a] Abraham ein tad ni ei gael, yn
2. ol y cnawd?
2 Canys os Abraham a gyfiawnhawyd
trwy weithredoedd, y mae iddo orfoledd;
eithr nid ger bron Duw.
3 Canys pa beth a ddywaid yr ysgrythyr?
[b] Gen. 15. 6. [b] Credodd Abraham i Dduw; a chyfrifwyd
Gal. 3. 6. iddo yn gyfiawnder.
Iago 2. 23. 4 Eithr [c] i'r neb sydd yn gweithio, ni
[c] Pen. 11. 6. chyfrifir y gwobr o ras, ond o ddyled.
5 Eithr i'r neb nid yw yn gweithio, ond
yn credu yn yr hwn sydd yn cyfiawnhâu yr
annuwiol, ei ffydd ef a gyfrifir yn gyfiawn-
der.
6 Megis y mae Dafydd hefyd yn datgan
dedwyddwch y dyn y mae Duw yn cyfrif
cyfiawnder iddo heb weithredoedd, *gan ddywedyd,*
[d] Psal. 32. 7 [d] Dedwydd *yw* y rhai y maddeuwyd
1, 2. eu hanwireddau, a'r rhai y cuddiwyd eu pe-
chodau.
8 Dedwydd *yw* y gwr nid yw yr Ar-
glwydd yn cyfrif pechod iddo.
9 *A ddaeth* y dedwyddwch hwn gan hyn-
ny ar yr enwaediad *yn unig*, ynte ar y
dienwaediad hefyd? Canys yr ydym yn
dywedyd ddarfod cyfrif ffydd i Abraham yn
gyfiawnder.
10 Pa fodd gan hynny y cyfrifwyd hi?
ai pan oedd yn yr enwaediad, ynte yn y
dienwaediad? Nid yn yr enwaediad, ond y
dienwaediad.
11 Ac [e] efe a gymmerth arwydd yr en- [e] Gen. 17.
waediad, yn † insel cyfiawnder y ffydd, yr 10.
hon *oedd ganddo* yn y dienwaediad: fel [f] y † *sel.*
byddai efe yn dad pawb a gredent yn y [f] Luc 19. 9.
dienwaediad; fel y cyfrifid cyfiawnder idd- Adn. 12, 16.
ynt hwythau hefyd: Gal. 3. 7.
12 Ac yn dad yr enwaediad, nid i'r rhai
o'r enwaediad yn unig, ond i'r sawl hefyd a
gerddant lwybrau ffydd Abraham ein tad ni,
yr hon *oedd ganddo* yn y dienwaediad.
13 Canys nid trwy 'r ddeddf *y daeth* yr
addewid i Abraham, neu i'w had, y byddai
efe yn etifedd y byd; eithr trwy gyfiawn-
der ffydd.
14 Canys [g] os y rhai sydd o'r ddeddf [g] Gal. 3. 18.
*yw 'r* etifeddion, gwnaed ffydd yn ofer, a'r
addewid yn ddirym.
15 Oblegid [h] y mae 'r ddeddf yn peri di- [h] Pen. 3.
gofaint; canys lle nid oes deddf, nid *oes* 20. a 5. 13,
gamwedd. 20. a 7. 8, 10.
16 Am hynny o ffydd *y mae, fel y byddai* 1 Cor. 15.
yn ol gras: fel y byddai yr addewid yn sicr 56.
i'r holl had; nid yn unig i'r hwn sydd o'r 2 Cor. 7. 9. Gal. 3. 19.
ddeddf, ond hefyd i'r hwn sydd o ffydd 1 Ioan 3. 4.
Abraham, [i] yr hwn yw ein tad ni oll, [i] Esay 51.
17 (Megis y mae yn ysgrifenedig, [k] Mi 2.
a'th wnaethum yn dad llawer o genhedl- [k] Gen. 17.
oedd) ‡ ger bron y neb y credodd efe iddo, 5.
*sef* Duw, yr hwn sydd yn bywhâu y meirw, ‡ *yn gyffelyb i'r neb.*
ac sydd [l] yn galw y pethau nid ydynt, fel [l] Pen. 8. 11.
pe byddent:
18 Yr hwn yn erbyn gobaith a gredodd
dan obaith, fel y byddai efe yn dad cenhed-
loedd lawer; yn ol yr hyn a ddywedasid,
[m] Felly y bydd dy had di. [m] Gen. 15.
19 Ac efe yn ddiegwan o ffydd, [n] nid 5.
ystyriodd ei gorph ei hun, *yr hwn oedd* yr [n] Gen. 17.
awrhon wedi marweiddio, ac efe ynghylch 17. a 18. 11.
cant mlwydd oed, na marweidd-dra bru Sara. Heb. 11. 11,
20 Ac nid amheuodd efe addewid Duw 12.
trwy anghrediniaeth; eithr efe a nerthwyd
yn y ffydd, gan roddi gogoniant i Dduw:
21 Ac yn gwbl sicr *ganddo*, am yr hyn a
addawsai efe, [o] ei fod ef yn abl i'w wneu- [o] Psal. 115.
thur hefyd. 3.
22 Ac am hynny y cyfrifwyd iddo yn gy- Heb. 11. 19.
fiawnder.
23 Eithr [p] nid ysgrifenwyd hynny er ei [p] Pen. 15.
fwyn ef yn unig, ddarfod ei gyfrif iddo; 4.
24 Ond er ein mwyn ninnau hefyd, i'r 1 Cor. 10.
rhai y cyfrifir, y rhai ydym yn credu yn yr 6, 11.
hwn [q] a gyfododd Iesu ein Harglwydd ni o [q] Act. 2. 24.
feirw: a 13. 30.
25 Yr hwn a draddodwyd dros ein pech-
odau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhâu ni.

## PEN. V.

1 *Wedi ein cyfiawnhâu trwy ffydd, y mae i ni dangnefedd rhyngom a Duw,* 2 *a llawenydd yn ein gobaith:* 8 *gan ein cymmodi trwy ei waed ef, a nyni yn elynion iddo,* 10 *y cawn yn hytrach fod yn gadwedig wedi ein cymmodi.* 12 *Megis y daeth pechod a marwolaeth trwy Adda,* 17 *felly yn hytrach y daw cyfiawnder a bywyd trwy Iesu Grist.* 20 *Lle 'r amlhaodd pechod, y rhagor-amlhaodd gras.*

AM hynny, [a] gan ein bod wedi ein cyf- 60.
iawnhâu trwy ffydd, y mae gennym [a] Esay 32. 17.
heddwch tu ag at Dduw, trwy ein Har- Ioan 16.
glwydd Iesu Grist. 33.

[b] Eph. 2. 2 [b] Trwy yr hwn hefyd y cawsom ddy-
18. a 3. 12. fodia trwy ffydd i'r gras hwn, yn yr hwn
Heb. 4. 16. a 10. 19, 20. yr ydym yn sefyll, ac [c] yn gorfoleddu dan
[c] Heb. 3. 6. obaith gogoniant Duw.
3 Ac nid *felly* yn unig, eithr yr ydym yn
[d] Iago 1. 3. gorfoleddu mewn gorthrymderau; [d] gan
wybod fod gorthrymder yn peri dïoddef-
garwch;
4 A dïoddefgarwch, brofiad; a phrofiad,
obaith:
5 A gobaith ni chywilyddia, am fod ca-
riad Duw wedi ei dywallt yn ein calonnau
ni, trwy yr Yspryd Glân yr hwn a roddwyd
i ni.
6 Canys Crist, pan oeddym ni etto yn
† amser weiniaid, mewn † pryd a fu farw dros yr
cyfaddas. annuwiol.
7 Oblegid braidd y bydd neb farw dros
un cyfiawn: oblegid dros y da ysgatfydd fe
feiddiai un farw hefyd.
[e] Ioan 15. 8 Eithr [e] y mae Duw yn canmol ei gariad
13. 1 Petr 3. 18. tu ag attom; oblegid, a nyni etto yn bech-
1 Ioan 3. aduriaid, i Grist farw trosom ni.
16. a 4. 9. 9 Mwy ynte o lawer, a nyni yn awr wedi
ein cyfiawnhâu trwy ei waed ef, y'n hachu-
bir rhag digofaint trwyddo ef.
[f] Pen. 8. 32. 10 Canys [f] os pan oeddym yn elynion,
[g] 2 Cor. 5. [g] y'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth
19. Eph. 2. 16. ei Fab ef; mwy o lawer wedi ein heddychu,
[h] Ioan 5. y'n hachubir [h] trwy ei fywyd ef.
26. a 14. 19. 11 Ac nid *hynny* yn unig, eithr gorfo-
2 Cor. 4. leddu yr ydym hefyd yn Nuw trwy ein
10, 11. Harglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn yr awr-
hon y derbyniasom y cymmod.
[i] Gen. 3. 6. 12 Am hynny, megis [i] trwy un dyn y
1 Cor. 15. daeth pechod i'r byd, a [k] marwolaeth trwy
21. a 4. 15. bechod; ac felly yr aeth marwolaeth ar bob
[k] Gen. 2. dyn, yn gymmaint a phechu o bawb.
17. Pen. 6. 23. 13 Canys hyd y ddeddf yr oedd pechod
[l] Pen. 4. yn y byd: eithr [l] ni chyfrifir pechod pryd
15. nad oes ddeddf.
1 Ioan 3. 4. 14 Eithr teyrnasodd marwolaeth o Adda
hyd Moses, ïe, arnynt hwy y rhai ni phe-
chasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Ad-
[m] 1 Cor. da, [m] yr hwn yw ffurf yr un oedd ar ddy-
15. 21, 22, fod.
45. 15 Eithr nid megis y camwedd, felly y
mae y dawn hefyd. Canys os trwy gam-
wedd un y bu feirw llawer; mwy o lawer
yr amlhaodd gras Duw, a'r dawn trwy ras
[n] Mat 20. yr un dyn Iesu Grist, [n] i laweroedd.
28. a 26. 16 Ac nid megis *y bu* trwy un a bechodd,
28. *y mae*'r dawn: canys y farn a ddaeth o un
*camwedd* i gondemniad; eithr y dawn *sydd*
o gamweddau lawer i gyfiawnhâd.
‡ un cam- 17 Canys os trwy ‡ gamwedd un y teyrn-
wedd. asodd marwolaeth trwy un; mwy o lawer
y caiff y rhai sydd yn derbyn llïosowgrwydd
o ras, ac o ddawn cyfiawnder, deyrnasu
mewn bywyd trwy un, Iesu Grist.
§ un cam- 18 Felly gan hynny, megis trwy § gam-
wedd. wedd un *y daeth barn* ar bob dyn i gon-
‖ un cyf- demniad; felly hefyd trwy ‖ gyfiawnder un
iawnder. *y daeth y dawn* [o] ar bob dyn i gyfiawnhâd
[o] Ioan 12. bywyd.
32. Heb. 2. 9. 19 Oblegid megis trwy anufudd-dod un
dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechadur-
iaid; felly trwy ufudd-dod un y gwneir
llawer yn gyfiawn.
[p] Ioan 15. 20 Eithr [p] y ddeddf a ddaeth i mewn fel
22. Pen. 4. 15. yr amlhaai y camwedd: eithr lle'r aml-
a 7. 8. haodd y pechod, y rhagor-amlhaodd gras:
Gal. 3. 19, 21 Fel megis y teyrnasodd pechod i far-
23. wolaeth, felly hefyd y teyrnasai gras trwy
gyfiawnder, i fywyd tragywyddol, trwy
Iesu Grist ein Harglwydd.

PEN. VI.

1 *Na ddylem ni fyw mewn pechod, 2 a nin-*
*nau wedi marw iddo; 3 megis y mae ein*
*bedydd ni yn dangos. 12 Na theyrnased*
*pechod mwyach, 18 gan ddarfod i ni ymrôi*
*i wasanaeth cyfiawnder; 23 ac o herwydd*
*mai cyflog pechod yw marwolaeth.*

BETH wrth hynny a ddywedwn ni? a 60.
drigwn ni yn wastad mewn pechod, fel
yr amlhao gras?
2 Na atto Duw. A ninnau wedi meirw
i bechod, pa wedd y byddwn fyw etto yn-
ddo ef?
3 Oni wyddoch chwi, [a] am gynnifer o [a] Gal. 3. 27.
honom ag a † fedyddiwyd i Grist Iesu, ein † Neu,
bedyddio ni i'w farwolaeth ef? *fedyddir*
4 [b] Claddwyd ni gan hynny gyd ag ef [b] Col. 2. 12.
trwy fedydd i farwolaeth; fel [c] megis ag y [c] Pen. 8. 11.
cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y 2 Cor. 13.
Tad, [d] felly y rhodiom ninnau hefyd mewn 4. Phil. 3. 10,
newydd-deb buchedd. 11.
5 Canys os gwnaed ni yn gyd blanhigion [d] Eph. 4.
i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef, felly y 22, 23.
byddwn *i gyffelybiaeth ei* adgyfodiad *ef*: Col. 3. 10.
6 Gan wybod hyn, ddarfod [e] croes-hoelio [e] Gal. 2.
ein hen ddyn ni gyd ag *ef*, er mwyn dirym- 20. a 5. 24.
mu [f] corph pechod, fel rhag llaw na wasa- a 6. 14. Eph. 4. 22.
naethom bechod. [f] Col. 2. 11.
7 Canys [g] y mae yr hwn a fu farw, wedi [g] 1 Petr 4.
ei ‡ ryddhâu oddi wrth bechod. 1.
8 Ac [h] os buom feirw gyd â Christ, yr ‡ Gr. *gyf*
ydym ni yn credu y byddwn fyw hefyd gyd *iawnhâu.*
ag ef: [h] 2 Tim. 2. 11.
9 Gan wybod nad yw [i] Crist, yr hwn a [i] Dat. 1. 18.
gyfodwyd oddi wrth y meirw, yn marw
mwyach; nad arglwyddiaetha marwolaeth
arno mwyach.
10 Canys fel y bu efe farw, [k] efe a fu [k] Heb. 9.
farw unwaith i bechod: ac fel y mae yn 27, 28.
byw, [l] byw y mae i Dduw. [l] Luc 20.
11 Felly chwithau hefyd, cyfrifwch eich 38.
hunain yn feirw i bechod; eithr [m] yn fyw i [m] Gal. 2.
Dduw, yng Nghrist Iesu ein Harglwydd. 19.
12 [n] Na theyrnased pechod gan hynny yn [n] Psal. 119.
eich corph marwol, i ufuddhâu o honoch 133.
iddo yn ei chwantau.
13 Ac na [o] roddwch eich aelodau yn § arf- [o] Pen. 7. 5.
au anghyfiawnder i bechod: eithr [p] rhodd- Col. 3. 5.
wch eich hunain i Dduw, megis rhai o feirw Iago 4. 1.
yn fyw; a'ch aelodau yn arfau cyfiawnder i § *offer.*
Dduw. [p] Pen. 12. 1.
14 Canys nid arglwyddiaetha pechod ar- 1 Petr 4. 2.
noch chwi: oblegid nid ydych chwi dan y
ddeddf, eithr dan ras.
15 Beth wrth hynny? a bechwn ni ‖ o ‖ 1 Cor. 9.
herwydd nad ydym dan y ddeddf, eithr dan 21.
ras? Na atto Duw. Gal. 5. 18.
16 Oni wyddoch chwi, mai [q] i bwy byn- [q] Mat. 6.
nag yr ydych yn eich rhoddi eich hunain 24.
yn weision i ufuddhâu iddo, eich bod yn Ioan 8. 34.
weision i'r hwn yr ydych yn ufuddhâu 2 Petr 2. 19.
iddo; pa un bynnag ai i bechod i farwol-
aeth, ynte i ufudd-dod i gyfiawnder?
17 Ond i Dduw y bo'r dïolch, eich bod
chwi *gynt* yn weision i bechod; eithr ufudd-
hâu o honoch o'r galon i'r [r] ffurf o athrawi- [r] 2 Tim. 1. 13.
aeth † a draddodwyd i chwi.
18 Ac [s] wedi eich rhyddhâu oddi wrth † Gr. *i'r*
bechod, fe a'ch gwnaethpwyd yn weision i *hon y'ch*
gyfiawnder. *traddod-*
19 Yn ol dull dynol yr ydwyf yn dy- *wyd.*
wedyd, oblegid gwendid eich cnawd chwi. [s] Ioan 8.
Canys megis ag y rhoddasoch eich aelodau 32.
yn weision i aflendid ac anwiredd, i anwi- 1 Cor. 7. 22.
redd; felly yr awrhon rhoddwch eich aelodau Gal. 5. 1.
yn weision i gyfiawnder, i sancteiddrwydd.

20 Canys pan oeddych yn weision pechod,
‖ i gyfiawnder. rhyddion oeddych ‖ oddi wrth gyfiawnder.
t Pen. 7. 5. 21 t Pa ffrwyth gan hynny oedd i chwi y
pryd hynny o'r pethau y mae arnoch yr awr
hon gywilydd o'u plegid? canys diwedd y
pethau hynny yw marwolaeth.
22 Ac yr awr hon, wedi eich rhyddhau
oddi wrth bechod, a'ch gwneuthur yn wei-
sion i Dduw, y mae i chwi eich ffrwyth yn
sancteiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tra-
gywyddol.
u Gen. 2. 17. 23 Canys u cyflog pechod yw marwolaeth:
Pen. 5. 12. eithr dawn Duw yw bywyd tragywyddol,
Iago 1. 15. trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

## PEN. VII.

1 *Nad oes un ddeddf yn arglwyddiaethu ar ddyn, ond tra fyddo byw:* 4 *ond ein bod ni wedi meirw i'r ddeddf.* 7 *Etto nad yw'r ddeddf bechod;* 12 *eithr sanctaidd, a chyfiawn, a da;* 16 *fel yr ydwyf fi yn cydnabod, ac yn ddrug gennyf na's gallaf ei chadw.*

60. ONI wyddoch chwi, frodyr (canys wrth
y rhai sy'n gwybod y ddeddf yr wyf
yn dywedyd) fod y ddeddf yn arglwyddiae-
thu ar ddyn, tra fyddo efe byw?
a 1 Cor. 7. 39. 2 Canys a y wraig y mae iddi wr, sydd
yn rhwym wrth y ddeddf i'r gwr, tra fyddo
efe byw: ond o bydd marw y gwr, hi a
ryddhawyd oddi wrth ddeddf y gwr.
b Mat. 5. 32. 3 Ac felly, b os a'r gwr yn fyw, y bydd
hi yn eiddo gwr arall, hi a elwir yn odine-
bus: eithr os marw fydd ei gwr hi, y mae
hi yn rhydd oddi wrth y ddeddf; fel nad
yw hi odinebus, er bod yn eiddo gwr arall.
4 Ac felly chwithau, fy mrodyr, ydych
c Pen. 8. 2. c wedi meirw i'r ddeddf trwy gorph Crist;
Gal. 2. 19. a 5. 18. fel y byddech eiddo un arall, *sef* eiddo yr
c Gal. 5. 22. hwn a gyfodwyd o feirw, fel d y dygem
ffrwyth i Dduw.
5 Canys pan oeddym yn y cnawd, gwyn-
iau pechodau, y rhai oedd trwy'r ddeddf,
e Pen. 6. 13. oedd e yn gweithio yn ein haelodau ni, f i
ddwyn ffrwyth i farwolaeth.
f Pen. 6. 21. Gal. 5. 19. 6 Eithr yn awr y rhyddhawyd ni oddi
† Pen. 6. 2. wrth y ddeddf, † wedi ein meirw i'r peth
y'n hattelid; fel y gwasanaethem mewn
g Pen. 2. 29. 2 Cor. 3. 6. g newydd-deb yspryd, ac nid *yn* hender y
llythyren.
7 Beth wrth hynny a ddywedwn ni?
Ai pechod *yw'r* ddeddf? Na atto Duw.
h Pen. 3. 20. Eithr h nid adnabum i bechod, ond wrth y
ddeddf: canys nid adnabuaswn i drachwant,
i Exod. 20. 17. oni bai ddywedyd o'r ddeddf, i Na thra-
Deut. 5. 21. chwanta.
Act. 20. 33. 8 Eithr k pechod, wedi cymmeryd ach-
k Pen. 4. 15. a 5. 20. lysur trwy'r gorchymyn, a weithiodd ynof
fi bob trachwant.
l 1 Cor. 15. 56. 9 Canys l heb y ddeddf marw *oedd* pech-
od. Eithr yr oeddwn i gynt yn fyw heb
y ddeddf: ond pan ddaeth y gorchymyn,
yr adfywiodd pechod, a minnau a fum
farw.
m Lef. 18. 5. 10 A'r gorchymyn m yr hwn *ydoedd* i
Ezec. 20. 11, 13, 21. fywyd, hwnnw a gaed i mi i farwolaeth.
11 Canys pechod, wedi cymmeryd ach-
lysur trwy'r gorchymyn, a'm twyllodd i; a
thrwy hwnnw a'm lladdodd.
n 1 Tim. 1. 8. 12 Felly yn wir n *y mae*'r ddeddf yn sanc-
taidd; a'r gorchymyn yn sanctaidd, ac yn
gyfiawn, ac yn dda.
13 Gan hynny a wnaethpwyd y peth
oedd dda, yn farwolaeth i mi? Na atto
Duw. Eithr pechod, fel yr ymddangosai yn
bechod, gan weithio marwolaeth ynof fi,
trwy'r hyn sydd dda; fel y byddai pechod
trwy'r gorchymyn yn dra phechadurus.
14 Canys ni a wyddom fod y ddeddf yn
ysprydol: eithr myfi sydd gnawdol, o wedi o 1 Bren. 21. 20, 25.
fy ngwerthu dan bechod. 1 Mac. 1. 15.
15 Canys yr hyn yr wyf yn ei wneuthur,
nid yw foddlon gennyf: canys p nid y peth p Gal. 5. 17.
yr wyf yn ei ewyllysio, hynny yr wyf yn ei
wneuthur; eithr y peth sydd gas gennyf,
hyn yr ydwyf yn ei wneuthur.
16 Ac os y peth nid wyf yn ei ewyllysio,
*hynny* yr wyf yn ei wneuthur, yr wyf fi yn
cyd-synio â'r ddeddf mai da *ydyw*.
17 Felly yr awr hon nid myfi sydd mwy
yn gwneuthur hynny, eithr y pechod yr
hwn sydd yn trigo ynof fi.
18 Canys mi a wn nad oes q ynof fi (hyn- q Gen. 6. 5. a 8. 21.
ny yw, yn fy nghnawd i) ddim da yn trigo:
oblegid yr ewyllysio sydd barod gennyf;
eithr cwblhâu yr hyn sydd dda, nid wyf yn
medru arno.
19 Canys nid wyf yn gwneuthur y peth
da yr wyf yn ei ewyllysio; ond y drwg yr
hwn nid wyf yn ei ewyllysio, hynny yr
wyf yn ei wneuthur.
20 Ac os ydwyf fi yn gwneuthur y peth
nid wyf yn ei ewyllysio, nid myfi mwyach
sydd yn ei wneuthur, ond y pechod sydd
yn trigo ynof fi.
21 Yr ydwyf fi gan hynny yn cael deddf,
a mi yn ewyllysio gwneuthur da, fod drwg
yn bresennol gyd â mi.
22 Canys ymhyfrydu yr wyf ynghyfraith
Dduw, yn ol r y dyn oddi mewn: r 2 Cor. 4. 16.
23 Eithr s yr wyf yn gweled deddf arall Eph. 3. 16.
yn fy aelodau, yn gwrthryfela yn erbyn Col. 3. 9, 10.
deddf fy meddwl, ac yn fy nghaethiwo i
ddeddf pechod, yr hon sydd yn fy aelo- s Gal. 5. 17.
dau.
24 Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwa-
red i oddi wrth ‡ gorph y farwolaeth hon! ‡ *y corph marwol-aeth hwn.*
25 Yr wyf fi yn diolch i Dduw, trwy Iesu
Grist ein Harglwydd. Felly gan hynny,
yr wyf fi fy hun â'r meddwl yn gwasanaethu
cyfraith Duw; ond â'r cnawd, cyfraith
pechod.

## PEN. VIII.

1 *Bod y rhai sydd yng Nghrist, ac yn byw yn ol yr Yspryd, yn rhyddion oddi wrth ddamnedigaeth.* 5, 13 *Pa niweid sydd yn digwydd oddi wrth y cnawd;* 6, 14 *a pha les oddi wrth yr Yspryd,* 17 *ac o fod yn blentyn i Dduw:* 19 *yr hwn y mae pob peth yn hiraethu am ei ogoneddus ymwared:* 29 *yr hwn a rag-ordeiniwyd gan Dduw.* 38 *Na all dim ein gwahanu ni oddi wrth ei gariad ef.*

NID *oes* gan hynny yn awr ddim damn- 60.
edigaeth i'r rhai sy yng Nghrist Iesu, a Gal. 5. 16, 25.
y rhai sydd a yn rhodio nid yn ol y cnawd,
eithr yn ol yr Yspryd. b Ioan 8. 36.
2 Canys b deddf c Yspryd y bywyd yng Pen. 6. 18, 22.
Nghrist Iesu a'm rhyddhaodd i oddi wrth Gal. 2. 19.
ddeddf pechod a marwolaeth. a 5. 1.
3 Canys † yr hyn ni allai y ddeddf, o her- c 1 Cor. 1. 45.
wydd ei bod yn wan trwy'r cnawd, Duw a 2 Cor. 3. 6.
ddanfonodd ei Fab ei hun ynghyffelyb-
iaeth cnawd pechadurus, ‡ ac am bechod a † *yr hyn oedd anmhosibl i ddeddf, yn yr hyn yr oedd hi yn wan.*
gondemniodd bechod yn y cnawd:
4 Fel y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf
ynom ni, y rhai ydym yn rhodio, nid yn ol
y cnawd, eithr yn ol yr Yspryd.
5 Canys d y rhai sydd yn ol y cnawd, am ‡ *a thrwy offrwm am.*
bethau'r cnawd y maent yn syniaw: eithr
y rhai sy yn ol yr Yspryd, am bethau'r d 1 Cor. 2. 14.
Yspryd:

6 Canys [e] syniad y cnawd, marwolaeth *yw*; a syniad yr yspryd, bywyd a thangnefedd *yw*:

7 Oblegid syniad y cnawd *sydd* elyniaeth yn erbyn Duw: canys nid yw ddarostyngedig i ddeddf Duw; [f] oblegid ni's gall chwaith.

8 A'r rhai sydd yn y cnawd, ni allant ryngu bodd Duw.

9 Eithr chwychwi nid ydych yn y cnawd, ond yn yr yspryd, od yw [g] Yspryd Duw yn trigo ynoch. Ac od oes neb heb [h] Yspryd Crist ganddo, nid yw hwnnw yn eiddo ef.

10 Ac os *yw* Crist ynoch, *y mae*'r corph yn farw, o herwydd pechod; eithr yr Yspryd yn fywyd, o herwydd cyfiawnder.

11 Ac os Yspryd [i] yr hwn a gyfododd Iesu o feirw, sydd yn trigo ynoch; [k] yr hwn a gyfododd Grist o feirw, a fywiocâ hefyd eich cyrph marwol chwi, † trwy ei Yspryd yr hwn sydd yn trigo ynoch.

12 Am hynny, frodyr, dyledwŷr ydym, nid i'r cnawd, i fyw yn ol y cnawd.

13 Canys [l] os byw yr ydych yn ol y cnawd, meirw fyddwch; eithr os ydych [m] yn marweiddio gweithredoedd y corph trwy'r Yspryd, byw fyddwch.

14 Canys [n] y sawl a arweinir gan Yspryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw.

15 Canys [o] ni dderbyniasoch yspryd caethiwed drachefn i *beri* ofn; eithr derbyniasoch [p] Yspryd mabwysiad, trwy'r hwn yr ydym yn llefain, [q] Abba, Dad.

16 Y mae [r] yr Yspryd ‡ hwn yn cyd-dystiolaethu â'n hyspryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw.

17 Ac os plant, etifeddion hefyd; *sef* etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ: [s] os ydym yn cyd-ddïoddef *gyd ag ef*, fel y'n cyd-ogonedder hefyd.

18 Oblegid yr ydwyf yn cyfrif, [t] nad *yw* dïoddefiadau yr amser presennol hwn, yn haeddu *eu cyffelybu* i'r gogoniant a ddatguddir i ni.

19 Canys [u] awydd-fryd y creadur sydd yn disgwyl am [x] ddatguddiad meibion Duw.

20 Canys y creadur sydd wedi ei ddarostwng i oferedd; nid o'i fodd, eithr oblegid yr hwn a'i darostyngodd:

21 Dan obaith y rhyddheir y creadur yntau hefyd, o gaethiwed llygredigaeth, i ryddid gogoniant plant Duw.

22 Canys ni a wyddom fod § pob creadur yn cyd-ocheneidio, ac yn cyd-ofidio hyd y pryd hwn.

23 Ac nid yn unig *y creadur*, ond ninnau hefyd y rhai sydd gennym flaen-ffrwyth yr Yspryd; [y] yr ydym ninnau ein hunain hefyd yn ocheneidio ynom ein hunain, gan ddisgwyl y mabwysiad, *sef* [z] prynedigaeth ein corph.

24 Canys trwy obaith y'n hiachawyd. Eithr [a] y gobaith a welir, nid yw obaith: oblegid y peth y mae un yn ei weled, i ba beth y mae etto yn ei obeithio?

25 Ond os ydym ni yn gobeithio yr hyn nid ŷm yn ei weled, yr ydym trwy amynedd yn disgwyl am dano.

26 A'r un ffunud y mae'r Yspryd hefyd yn cynnorthwyo ein gwendid ni. Canys [b] ni wyddom ni beth a weddïom, megis y dylem: eithr [c] y mae'r Yspryd ei hun yn erfyn trosom ni ag ocheneidiau anhraethadwy.

27 [d] A'r hwn sydd yn chwilio'r calonnau, a ŵyr beth *yw* meddwl yr Yspryd; || canys y mae efe [e] yn ol *ewyllys* Duw yn erfyn dros y saint.

28 Ac ni a wyddom fod pob peth yn cyd-weithio er daioni i'r rhai sy yn caru Duw; *sef* i'r rhai sydd wedi eu galw yn ol *ei* arfaeth *ef*.

29 Oblegid y rhai [f] a rag-wybu, [g] a ragluniodd efe hefyd [h] *i fod* yn un ffurf â delw ei Fab ef; [i] fel y byddai efe yn gyntaf-anedig ym mhlith brodyr lawer.

30 A'r rhai a ragluniodd efe, y rhai hynny hefyd a alwodd efe; a'r rhai a alwodd efe, y rhai hynny hefyd a gyfiawnhaodd efe; a'r rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hynny hefyd [k] a ogoneddodd efe.

31 Beth gan hynny a ddywedwn ni wrth y pethau hyn? [l] Os *yw* Duw trosom, pwy *a all fod* i'n herbyn?

32 [m] Yr hwn nid arbedodd ei brïod Fab, ond [n] a'i traddododd ef trosom ni oll; pa wedd gyd ag ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?

33 Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw? [o] Duw *yw*'r hwn sydd yn cyfiawnhâu:

34 [p] Pwy *yw*'r hwn sydd yn damnio? Crist *yw*'r hwn a fu farw, ïe, yn hytrach, yr hwn a gyfodwyd hefyd; [q] yr hwn hefyd sydd ar ddeheu-law Duw, [r] yr hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni.

35 Pwy a'n gwahana ni oddi wrth gariad Crist? *ai* gorthrymder, neu ing, neu ymlid, neu newyn, neu noethni, neu enbydrwydd, neu gleddyf?

36 (Megis y mae yn ysgrifenedig, [s] Er dy fwyn di yr ydys yn ein lladd ni ar hŷd y dydd; cyfrifwyd ni fel defaid i'r lladdfa.)

37 [t] Eithr yn y pethau hyn oll yr ydym ni yn fwy nâ chwncwerwŷr, trwy'r hwn a'n carodd ni.

38 Canys y mae yn ddïogel gennyf, na all nac angau, nac einioes, nac angylion, na [u] thywysogaethau, na meddiannau, na phethau presennol, na phethau i ddyfod,

39 Nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddi wrth gariad Duw, yr hwn sydd yng Nghrist Iesu ein Harglwydd.

## PEN. IX.

*1 Paul yn ddrwg ganddo dros yr Iuddewon. 7 Nad oedd holl had Abraham yn blant yr addewid. 13 Bod Duw yn trugarhâu wrth y neb y mynno. 21 Y gall y crochenydd wneuthur â'i bridd y peth a fynno. 25 Darfod rhag-fynegi galwedigaeth y Cenhedloedd, a gwrthodiad yr Iuddewon. 32 Yr achos paham y croesawodd cyn lleied o'r Iuddewon gyfiawnder ffydd.*

[a] Y Gwirionedd yr wyf fi yn ei ddywedyd yng Nghrist, nid wyf yn dywedyd celwydd, a'm cydwybod hefyd yn cyd-dystiolaethu â mi yn yr Yspryd Glân,

2 [b] Fod i mi dristyd mawr, a gofid dibaid i'm calon.

3 Canys [c] mi a ddymunwn fy mod fy hun † yn anathema oddi wrth Grist, dros fy mrodyr, *sef* fy nghenedl yn ol y cnawd:

4 [d] Y rhai sydd Israeliaid; [e] eiddo y rhai yw y mabwysiad, [f] a'r gogoniant, a'r ‡ cyfammodau, a [g] dodiad y ddeddf, a'r gwasanaeth, [h] a'r addewidion:

Marginal references (Pen. VIII): Pen. 6. 21. Gal. 6. 8. — f 1 Cor. 2. 14. — g 1 Cor. 3. 16. — h Ioan 3. 34. Gal. 4. 6. Phil. 1. 19. 1 Petr 1. 11. — i Act. 2. 24. — k Pen. 6. 4, 5. 1 Cor. 6. 14. 2 Cor. 4. 14. Eph. 2. 5. — † *oblegid.* — l Gal. 6. 8. — m Eph. 4. 22. Col. 3. 5. — n Gal. 5. 18. — o 1 Cor. 2. 12. 1 Tim. 1. 7. — p Esay 56. 5. Gal. 4. 5, 6. — q Marc 14. 36. — r 2 Cor. 1. 22. a 5. 5. Eph. 1. 13. a 4. 30. — ‡ *ei hun.* — s Act. 14. 22. 2 Tim. 2. 11, 12. — t 2 Cor. 4. 17. 1 Petr 1. 6, 7. a 4. 13. — u 2 Petr 3. 13. — x 1 Ioan 3. 2. — § *yr holl greadigaeth.* — y 2 Cor. 5. 2, 4. — z Luc 21. 28. Eph. 4. 30. — a 2 Cor. 5. 7. Heb. 11. 1. — b Mat. 20. 22. Iago 4. 3. — c Zech. 12. 10. Eph. 6. 18. — d 1 Chron. 28. 9. Psal. 7. 9. Jer. 11. 20. a 17. 10. Act. 1. 24. Dat. 2. 23. — || *ei fod &c.* — e 1 Ioan 5. 14. — f Exod. 33. 12, 17. Psal. 1. 6. Jer. 1. 5. Mat. 7. 23. Pen. 11. 2. 2 Tim. 2. 19. 1 Petr 1. 2. — g Eph. 1. 5, 11. — h Ioan 17. 22. 2 Cor. 3. 18. Phil. 3. 21. 1 Ioan 3. 2. — i Col. 1. 15, 18. Heb. 1. 6. Dat. 1. 5. — k Eph. 2. 6. — l Num. 14. 9. — m Pen. 5. 6, 10. — n Pen. 4. 25. Esay 50. 8, 9. — o Dat. 12. 10, 11. — p Job 34. 29. — q Marc 16. 19. Col. 3. 1. Heb. 1. 3. a 8. 1. a 12. 2. — r Heb. 7. 25. a 9. 24. — s Psal. 44. 22. 2 Cor. 4. 11. — t 1 Cor. 15. 57. 2 Cor. 2. 14. 1 Ioan 4. 4. a 5. 4, 5. Dat. 12. 11. — u Eph. 1. 21. a 6. 12. Col. 1. 16. a 2. 15. 1 Petr 3. 22.

Marginal references (Pen. IX): 60. — a 2 Cor. 1. 23. a 11. 31. — b Pen. 10. 1. — c Exod. 32. 32. — † *wedi fy ngwahanu.* — d Deut. 7. 6. — e Exod. 4. 22. Jer. 31. 9. — f 1 Sam. 4. 21.

‡ *testamentau.* g Psal 147. 19. h Pen 3. 2. Eph. 2. 12.

5 Eiddo y rhai *yw*'r tadau: ac [i] o'r rhai *yr hanoedd* Crist yn ol y cnawd, [k] yr hwn sydd uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd. Amen.

6 [l] Eithr nid posibl yw myned gair Duw yn ddirym: canys [m] nid † Israel yw pawb a'r sydd o Israel.

7 [n] Ac nid *ydynt*, oblegid eu bod yn had Abraham, i gyd yn blant: eithr, [o] Yn Isaac y gelwir i ti *had*.

8 Hynny ydyw, Nid plant y cnawd, y rhai hynny *sy* blant i Dduw; eithr [p] plant yr addewid a gyfrifir yn had.

9 (Canys gair yr addewid *yw* hwn; [q] Ar yr amser hwn y deuaf, a bydd mab i Sara.

10 Ac nid *hyn* yn unig; eithr [r] Rebecca hefyd, wedi iddi feichiogi o un, *sef* o'n tad Isaac;

11 (Canys cyn geni *y plant* etto, na gwneuthur o honynt dda na drwg, fel y byddai i'r arfaeth yn ol etholedigaeth Duw sefyll, nid o weithredoedd, eithr [s] o'r hwn sydd yn galw)

12 Y dywedwyd wrthi, [t] ‡ Yr hynaf a wasanaetha'r § ieuangaf.

13 Megis yr ysgrifenwyd, [u] Jacob a gerais, eithr Esau a gasêais.

14 Beth gan hynny a ddywedwn ni? [x] *A oes* anghyfiawnder gyd â Duw? Na atto Duw.

15 Canys y mae yn dywedyd wrth Moses, [y] Mi a drugarhâf wrth yr hwn y trugarhawyf, ac a dosturiaf wrth yr hwn y tosturiwyf.

16 Felly gan hynny nid o'r hwn sydd yn ewyllysio *y mae*, nac o'r hwn sydd yn rhedeg chwaith; ond o Dduw, yr hwn sydd yn trugarhâu.

17 Canys [z] y mae'r ysgrythyr yn dywedyd wrth Pharaoh, [a] I hyn yma y'th gyfodais di, fel y dangoswn fy ngallu ynot ti, ac fel y datgenid fy enw trwy'r holl ddaear.

18 Felly gan hynny y neb y mynno y mae efe yn trugarhâu wrtho, a'r neb y mynno y mae efe yn ei galedu.

19 Ti a ddywedi gan hynny wrthyf, Paham y mae efe etto yn beio? canys pwy a wrthwynebodd ei ewyllys ef?

20 Yn hytrach, O ddyn, pwy wyt ti yr hwn a ddadleui yn erbyn Duw? [b] a ddywaid y peth ffurfiedig wrth yr hwn a'i ffurfiodd, Paham y'm gwnaethost fel hyn?

21 Onid oes awdurdod [c] i'r crochenydd ar y priddgist, i wneuthur o'r un telpyn pridd [d] un llestr i barch, ac arall i ammharch?

22 *Beth* os Duw, yn ewyllysio dangos ei ddigofaint, a pheri adnabod ei allu, a oddefodd trwy hir-ymaros lestri digofaint [e] wedi eu ‖ cymhwyso i golledigaeth:

23 Ac [f] i beri gwybod golud ei ogoniant ar lestri trugaredd, y rhai a rag-barottôdd efe i ogoniant?

24 *Sef* nyni y rhai a alwodd efe, nid o'r Iuddewon yn unig, eithr hefyd o'r Cenhedloedd.

25 Megis hefyd y mae efe yn dywedyd yn Hosea, [g] Mi a alwaf yr hwn nid yw bobl i mi, yn bobl i mi; a'r hon nid yw anwyl, yn anwyl.

26 A bydd yn y fangre lle y dywedwyd wrthynt, Nid fy mhobl i *ydych* chwi, yno y gelwir hwy yn Feibion i'r Duw byw.

27 Hefyd y mae Esaias yn llefain am yr Israel, [h] Cyd byddai nifer meibion Israel fel tywod y môr, [i] gweddill a achubir.

[i] Pen. 1. 3. [k] Jer. 23. 6. Ioan 1. 1. Act. 20. 28. Heb. 1. 8. [l] Pen. 3. 3. [m] Pen. 2. 28, 29. a 4. 12, 16. Gal. 6. 16. † yn y rhai hyn oll Israel a'r a hanynt o Israel. [n] Gal. 4. 23. [o] Gen. 21. 12. Heb. 11. 18. [p] Gal. 4. 28. [q] Gen. 18. 10. [r] Gen. 25. 21. [s] Pen. 4. 17. [t] Gen. 25. 23. ‡ Y mwyaf. § lleiaf. [u] Mal. 1. 2, 3. [x] Job 34. 10. [y] Exod. 33. 19. [z] Edrych Gal. 3. 8, 22. [a] Exod. 9. 16. [b] Esay 45. 9. a 64. 8. [c] Jer. 18. 6. [d] 2 Tim. 2. 20. [e] 1 Petr 2. 8. Judas 4. ‖ Neu, gorphen. [f] Pen. 2. 4. Col. 1. 27. a 2. 7. a 3. 8, 16. Phil. 4. 9. [g] Hos. 2. 23. 1 Petr 2. 10. [h] Esay 10. 22, 23. [i] Pen. 11. 5.

28 Canys efe a orphen ac a gwttoga y
† gwaith mewn cyfiawnder: oblegid byr
‡ waith a wna'r Arglwydd ar y ddaear.

29 Ac megis y dywedodd Esaias yn y blaen, [k] Oni buasai i Arglwydd y sabbath adael i ni had, [l] megis Sodom y buasem, a gwnaethid ni yn gyffelyb i Gomorrah.

30 Beth gan hynny a ddywedwn ni? Bod y Cenhedloedd, y rhai nid oeddynt yn dilyn cyfiawnder, wedi derbyn cyfiawnder, sef y cyfiawnder sydd o ffydd:

31 Ac Israel, [m] yr hwn oedd yn dilyn deddf cyfiawnder, ni chyrhaeddodd ddeddf cyfiawnder.

32 Paham? Am nad *oeddynt yn ei cheisio* trwy ffydd, ond megis trwy weithredoedd y ddeddf: canys [n] hwy a dramgwyddasant wrth y maen tramgwydd;

33 Megis y mae yn ysgrifenedig, [o] Wele fi yn gosod yn Sïon faen tramgwydd, a chraig rhwystr: a [p] phob un a gredo ynddo, ni § chywilyddir.

## PEN. X.

5 *Bod yr ysgrythyr lân yn dangos y rhagor*
*sy rhwng cyfiawnder y gyfraith a'r hwn*
*sydd o ffydd;* 11 *ac na chywilyddir neb a*
*gredo, pa un bynnag ai Iuddew ai Cenhedl-*
*ddyn fyddo;* 18 *ac y derbyn y Cenhedloedd*
*y gair, ac y credant.* 19 *Nad oedd y pethau*
*hyn anhyspys i'r Iuddewon.*

OH frodyr, gwir ewyllys fy nghalon, a'm 60.
gweddi ar Dduw dros yr Israel, sydd
† er iachawdwriaeth.

2 Canys yr wyf fi yn dyst iddynt, [a] fod ganddynt zel Duw, eithr nid ar ol gwybodaeth.

3 Canys hwynt-hwy, heb wybod cyfiawnder Duw, ac yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, nid ymostyngasant i gyfiawnder Duw.

4 Canys [b] Crist yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un a'r y sy'n credu.

5 Canys y mae Moses yn ysgrifenu *am y* cyfiawnder sydd o'r ddeddf, [c] Mai'r dyn a wnel y pethau hynny, a fydd byw trwyddynt.

6 Eithr y mae y cyfiawnder sydd o ffydd yn dywedyd fel hyn; [d] Na ddywaid yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef? (hynny yw, dwyn Crist i wared *oddi uchod*)

7 Neu, Pwy a ddisgyn i'r dyfnder? (hynny yw, dwyn Crist drachefn i fynu oddi wrth y meirw)

8 Eithr pa beth y mae efe yn ei ddywedyd? [e] Mae'r gair yn agos attat, yn dy enau, ac yn dy galon: hwn yw gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu;

9 Mai [f] os cyffesi â'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi.

10 Canys â'r galon y credir i gyfiawnder, ac â'r genau y cyffesir i iachawdwriaeth.

11 Oblegid y mae'r ysgrythyr yn dywedyd, [g] Pwy bynnag sydd yn credu ynddo ef, ni chywilyddir.

12 Canys [h] nid oes gwahaniaeth rhwng Iuddew a Groegwr: oblegid [i] yr un Arglwydd ar bawb, [k] sydd oludog i bawb a'r sydd yn galw arno.

13 [l] Canys pwy bynnag a alwo ar enw yr Arglwydd, cadwedig fydd.

14 Pa fodd gan hynny y galwant ar yr hwn ni chredasant ynddo? a pha fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? a pha fodd y clywant, heb bregethwr?

15 A pha fodd y pregethant, oni's danfonir *hwynt?* megis y mae yn ysgrifenedig,

† Neu, cwttogi. ‡ cwttogi. [k] Esay 1. 9. Galar. 3. 22. [l] Esay 13. 19. Jer. 50. 40. [m] Pen. 10. 2. a 11. 7. [n] Luc 2. 34. 1 Cor. 1. 23. [o] Esay 8. 14. a 28. 16. Mat. 21. 42. 1 Petr 2. 6, 7, 8. [p] Pen. 10. 11. § waradwyddir. † ar eu bod yn gadwedig. [a] Act. 21. 20. a 22. 3. Pen. 9. 31. [b] Gal. 3. 24. [c] Lef. 18. 5. Ezec. 20. 11, 13, 21. Gal. 3. 12. [d] Deut. 30. 12, 13. [e] Deut. 30. 14. [f] Mat. 10. 32. Act. 8. 37. [g] Esay 28. 16. a 49. 23. Jer. 17. 7. [h] Pen. 3. 22. [i] Act. 10. 36. Pen. 3. 29. 1 Tim. 2. 5. [k] Eph. 1. 7 a 2. 4, 7. [l] Joel 2. 32. Act. 2. 21.

[m] Essay 52. [m] Mor brydferth yw traed y rhai sy yn
7. efangylu tangnefedd, y rhai sydd yn efang-
ylu pethau daionus!
[n] Heb. 4. 16 Eithr [n] nid ufuddhasant hwy oll i'r
2. efengyl: canys y mae Esaias yn dywedyd,
[o] Essay 53. [o] O Arglwydd, pwy a gredodd i'n † hym-
1. adrodd ni?
Ioan 12. 17 Am hynny ffydd *sydd* trwy glywed, a
38. chlywed trwy air Duw.
† *pregethiad.* 18 Eithr meddaf, Oni chlywsant hwy?
[p] Psal. 19. [p] Yn ddïau i'r holl ddaear yr aeth eu swn
4. hwy, a'u geiriau hyd derfynau y byd.
Mat. 24. 14. 19 Eithr meddaf, Oni wybu Israel? Yn
Col. 1. 6, gyntaf, y mae Moses yn dywedyd, [q] Mi a
23.
[q] Deut. 32. baraf i chwi wŷnfydu trwy *rai* nid *yw* ge-
21. nedl; trwy genedl anneallus y'ch digiaf
chwi.
20 Eithr y mae Esaias yn ymhyfhau, ac yn
[r] Essay 65. dywedyd, [r] Cafwyd fi gan y rhai nid oedd-
1. ynt yn fy ngheisio; *a* gwnaed fi yn eglur i'r
rhai nid oeddynt yn ymofyn am danaf.
21 Ac wrth yr Israel y mae yn dywedyd,
[s] Essay 65. [s] Ar hŷd y dydd yr estynais fy nwylaw at
2. bobl anufudd ac yn gwrth-ddywedyd.

## PEN. XI.

1 *Na fwriodd Duw ymaith holl Israel; 7 ond
rhai a ddewiswyd: er darfod caledu'r lleill,
16 y mae gobaith y troir hwynt. 18 Na ddy-
lai'r Cenhedloedd orfoleddu yn eu herbyn
hwy; 26 oblegid y mae addewid o'u hiach-
awdwriaeth hwythau. 33 Bod barnedig-
aethau Duw yn anchwiliadwy.*

60. AM hynny meddaf, [a] A wrthododd Duw
[a] Jer. 31. ei bobl? Na atto Duw. Canys [b] yr
37. wyf finnau hefyd yn Israeliad, o had Abra-
[b] 2 Cor. 11. ham, *o* lwyth Benjamin.
22.
Phil. 3. 5. 2 Ni wrthododd Duw ei bobl yr hwn [c] a
[c] Pen. 8. adnabu efe o'r blaen. Oni wyddoch chwi
29. pa beth y mae yr ysgrythyr yn ei ddywedyd
† Gr. yn † am Elias? pa fodd y mae efe yn erfyn ar
*Elias?* Dduw yn erbyn Israel, gan ddywedyd,
[d] 1 Bren. 3 [d] *Oh* Arglwydd, hwy a laddasant dy
19. 10, 14. brophwydi, ac a gloddiasant dy allorau i
lawr; ac myfi a adawyd yn unig, ac y maent
yn ceisio fy einioes innau.
4 Eithr pa beth y mae atteb Duw yn ei
[e] 1 Bren. ddywedyd wrtho? [e] Mi a adewais i mi fy
19. 18. hun saith mil o wŷr y rhai ni phlygasant eu
gliniau i Baal.
[f] Pen. 9. 5 [f] Felly gan hynny y pryd hwn hefyd y
27. mae gweddill yn ol etholedigaeth gras.
[g] Pen. 4. 6 Ac [g] os o ras, nid o weithredoedd mwy-
4, 5.
Gal. 5. 4. ach: *os* amgen, nid yw gras yn ras mwy-
Edrych ach. Ac os o weithredoedd, nid yw o ras
Deut. 9. 4. mwyach: *os* amgen, nid yw gweithred yn
weithred mwyach.
[h] Pen. 9. 7 Beth gan hynny? [h] Ni chafodd Israel yr
31. a 10. 3. hyn y mae yn ei geisio: eithr yr etholedig-
‡ *ddallwyd.* aeth a'i cafodd, a'r lleill a ‡ galedwyd;
8 Megis y mae yn ysgrifenedig, [i] Rhoddes
[i] Essay 29. Duw iddynt yspryd trymgwsg, [k] llygaid
10.
fel na welent, a chlustiau fel na chlywent,
[k] Essay 6. hyd y dydd heddyw.
9.
Ezec. 12. 2. 9 Ac y mae Dafydd yn dywedyd, [l] Bydd-
Mat. 13. 14. ed eu bord hwy yn rhwyd, ac yn fagl, ac yn
[l] Psal. 69. dramgwydd, ac yn daledigaeth iddynt.
22, 23.
10 Tywyller eu llygaid hwy, fel na wel-
ant, a chyd-grymma di eu cefnau hwy bob
amser.
11 Gan hynny meddaf, A dramgwydd-
asant hwy fel y cwympent? Na atto Duw:
[m] Act. 13. eithr [m] trwy eu cwymp hwy *y daeth* iach-
46. awdwriaeth i'r Cenhedloedd, i yrru eiddig-
edd arnynt.

12 O herwydd paham os *ydyw* eu cwymp
hwy yn olud i'r byd, a'u lleihâd hwy yn
olud i'r Cenhedloedd; pa faint mwy *y bydd*
eu cyflawnder hwy?
13 Canys wrthych chwi y Cenhedloedd yr
wyf yn dywedyd, yn gymmaint [n] a'm bod i [n] Pen. 15.
yn apostol y Cenhedloedd, yr wyf yn mawr- 16.
hâu fy swydd; Gal. 1. 16.
a 2. 2, 8.
14 Os gallaf rywfodd yrru eiddigedd ar Eph. 3. 8.
fy nghig *a'm gwaed fy hun*, ac [o] achub rhai 1 Tim. 2. 7.
o honynt. 2 Tim. 1.
11.
15 Canys os *yw* eu gwrthodiad hwy yn [o] 1 Cor. 7.
gymmod i'r byd, beth *fydd eu* derbyniad 16. a 9. 22.
*hwy* ond bywyd o feirw? 1 Tim. 4.
16.
16 Canys os sanctaidd y blaen-ffrwyth, *y* Iago 5. 20.
*mae*'r clamp toes hefyd *yn sanctaidd*: ac os
sanctaidd y gwreiddyn, *y mae*'r canghennau
*hefyd* felly.
17 Ac os [p] rhai o'r canghennau a dor- [p] Jer. 11.
rwyd ymaith, a thydi yn olew-wŷdden wyllt 16.
a impiwyd i mewn § yn eu plith hwy, ac a'th § *yn eu lle*
wnaethpwyd yn gyfrannog o'r gwreiddyn, *hwynt.*
ac *o* frasder yr olew-wŷdden.
18 [q] Na orfoledda yn erbyn y canghennau. [q] 1 Cor. 10.
Ac os gorfoleddi, nid tydi sydd yn dwyn y 12.
gwreiddyn, eithr y gwreiddyn dydi.
19 Ti a ddywedi gan hynny, Torrwyd y
canghennau ymaith, fel yr impid fi i mewn.
20 Da; trwy anghrediniaeth y torrwyd
hwynt ymaith, a thithau sydd yn sefyll
trwy ffydd. Na fydd uchel-fryd, eithr
[r] ofna. [r] Diar. 28.
21 Canys onid arbedodd Duw y canghen- 14.
nau naturiol, *gwylia* rhag nad arbedo di- Esay 66. 2.
thau chwaith. Phil. 2. 12.
22 Gwel am hynny ddaioni a thoster
Duw: *sef* i'r rhai a gwympasant, toster;
eithr daioni i ti, [s] os arhosi yn *ei* ddaioni *ef*. [s] 1 Cor. 15.
*Os* amgen, [t] torrir dithau hefyd ymaith. 2.
23 A hwythau, onid arhosant yn anghred- Heb. 3. 6,
iniaeth, a impir i mewn. Canys fe all Duw 14.
[u] eu himpio hwy i mewn drachefn. [t] Ioan 15.
2.
24 Canys os tydi a dorrwyd ymaith o'r [u] 2 Cor. 3.
olew-wŷdden yr hon oedd wyllt wrth na- 16.
turiaeth, a'th impio yn erbyn naturiaeth
mewn gwir olew-wŷdden; pa faint mwy y
caiff y rhai hyn sydd wrth naturiaeth, eu
himpio i mewn yn eu holew-wŷdden eu
hun?
25 Canys ni ewyllysiwn, frodyr, eich bod
heb wybod y dirgelwch hwn (fel na bydd-
och ddoethion yn eich golwg eich hun) ddy-
fod ‖ dallineb o ran i Israel, [x] hyd oni ddêl ‖ *caled-*
cyflawnder y Cenhedloedd i mewn. *wch.*
26 Ac felly holl Israel a fydd cadwedig; [x] Luc 21.
fel y mae yn ysgrifenedig, [y] Y Gwaredwr 24.
Dat. 7. 9.
a ddaw allan o Sïon, ac a dry ymaith an- [y] Esay 59.
nuwioldeb oddi wrth Jacob. 20.
27 A hyn *yw*'r ammod *sydd* iddynt gen- Psal. 14. 7.
Esay 27. 9.
nyf fi, pan gymmerwyf ymaith eu pechod- Jer. 31. 31,
au hwynt. &c.
28 Felly o ran yr efengyl, gelynion *ydynt* Heb. 8. 8.
a 10. 16.
o'ch plegid chwi: eithr o ran yr etholedig-
aeth, caredigion *ydynt* oblegid y tadau.
29 Canys [z] diedifarus *yw* doniau a galw- [z] Num. 23.
edigaeth Duw. 19.
30 Canys megis y buoch chwithau gynt
yn † anufudd i Dduw, eithr yr awrhon a † *anghred-*
*adyn.*
gawsoch drugaredd trwy ‡ anufudd-dod y ‡ *anghred-*
rhai hyn; *iniaeth.*
31 Felly hwythau hefyd yr awrhon a § an- § *anghred-*
ufuddhasant, fel y caent hwythau drugaredd *asant.*
trwy eich trugaredd chwi.
32 Canys [a] Duw a'u cauodd hwynt oll [a] Pen. 3. 9.
mewn ‖ anufudd-dod, fel y trugarhaai wrth Gal. 3. 22.
bawb. ‖ *anghred-*
*iniaeth.*

33 Oh ddyfnder golud doethineb a gwy-
bodaeth Duw! [b] mor anchwiliadwy *yw* ei
farnau ef! [c] a'u ffyrdd mor anolrheinadwy
*ydynt*
34 [d] Canys pwy a wybu feddwl yr Ar-
glwydd? neu [e] pwy a fu gynghorwr iddo
ef?
35 Neu [f] pwy a roddes iddo ef yn gyntaf,
ac fe a delir iddo drachefn?
36 Canys [g] o hono ef, a thrwyddo ef, ac
iddo ef, *y mae* pob peth. † Iddo ef *y byddo*
gogoniant yn dragywydd. Amen.

b Psal. 36. 6. c Job 8. 7. a Esay 40. 13. Jer. 23. 18. Doeth. 9. 13. 1 Cor. 2. 16. e Job 36. 22. f Job 35. 7. a 41. 11. g 1 Cor. 8. 6. Col. 1. 16. † *I'r hwn y.*

## PEN. XII.

1 *Y dylai trugareddau Duw ein cynhyrfu ni i ryngu ei fodd ef.* 3 *Na ddylai neb feddwl yn rhy dda o hono ei hun;* 6 *eithr bod yn ddiwyd yn yr alwedigaeth y gosodwyd ef ynddi.* 9 *Cariad, a llawer eraill o rinweddau, a ofynir gennym ni:* 19 *a dial yn bendifaddeu a warafunir i ni.*

60.
AM hynny [a] yr wyf yn attolwg i chwi,
frodyr, er trugareddau Duw, [b] roddi o
honoch eich cyrph yn aberth byw, sanct-
aidd, cymmeradwy gan Dduw; *yr hyn yw*
eich rhesymmol wasanaeth chwi.
2 Ac [c] na chyd-ymffurfiwch â'r byd hwn:
eithr [d] ymnewidiwch trwy adnewyddiad
eich meddwl; fel [e] y profoch beth *yw* da-
ionus, a chymmeradwy, a pherffaith ewy-
llys Duw.
3 Canys yr wyf yn dywedyd, [f] trwy y
gras a roddwyd i mi, wrth bob un a'r sydd
yn eich plith, [g] na byddo i neb uchel-synied
yn amgen nag y dylid synied; eithr synied
i sobrwydd, [h] fel y rhannodd Duw i bob un
fesur ffydd.
4 Canys [i] megis y mae gennym aelodau
lawer mewn un corph, ac nad oes gan yr
holl aelodau yr un swydd:
5 Felly [k] ninnau, *a ni* yn llawer, ydym
un corph yng Nghrist, a phob un yn aelod-
au i'w gilydd.
6 *A* [l] chan fod i *ni* amryw ddoniau yn
ol y gras a roddwyd i ni, pa un bynnag ai
[m] prophwydoliaeth, *prophwydwn* yn ol cys-
sondeb y ffydd;
7 Ai gweinidogaeth, *byddwn ddyfal* yn y
weinidogaeth; [n] neu'r hwn sydd yn athraw-
iaethu, yn yr athrawiaeth;
8 Neu'r hwn sydd yn cynghori, yn y cyng-
hor: [o] yr hwn sydd yn cyfrannu, *gwnaed*
mewn symlrwydd; [p] yr hwn sydd yn llyw-
odraethu, mewn diwydrwydd; yr hwn sydd
yn trugarhâu, [q] mewn llawenydd.
9 [r] *Bydded* cariad yn ddiragrith. [s] Casê-
wch y drwg, *a* glynwch wrth y da.
10 [t] Mewn cariad brawdol *byddwch* gar-
edig i'ch gilydd; [u] yn rhoddi parch, yn
blaenori eich gilydd:
11 Nid yn ddiog mewn diwydrwydd; yn
wresog yn yr yspryd; yn gwasanaethu yr
Arglwydd:
12 [x] Yn llawen mewn gobaith; yn ddïo-
ddefgar mewn cystudd; [y] yn dyfal-barhâu
mewn gweddi:
13 [z] Yn cyfrannu i gyfreidiau'r saint; ac
[a] yn † dilyd lletty garwch.
14 [b] Bendithiwch y rhai sydd yn eich ym-
lid: bendithiwch, ac na felldithiwch.
15 Byddwch lawen gyd â'r rhai sydd la-
wen, ac wylwch gyd â'r rhai sy'n wylo.
16 [c] *Byddwch* yn unfryd â'ch gilydd: [d] heb
roi eich meddwl ar uchel-bethau; eithr ‡ yn
gyd-ostyngedig â'r rhai isel-radd. [e] Na fydd-
wch ddoethion yn eich tyb eich hunain.
17 [f] Na thelwch i neb ddrwg am ddrwg.
[g] Darperwch bethau onest yngolwg pob
dyn.
18 Os yw bosibl, hyd y mae ynoch chwi,
§ [h] byddwch heddychlawn â phob dyn.
19 [i] Nac ymddialwch, rai anwyl, ond
rhoddwch le i ddigofaint: canys y mae yn
ysgrifenedig, [k] I mi y mae dïal; myfi a dal-
af, medd yr Arglwydd.
20 Am hynny [l] os dy elyn a newyna,
portha ef; os sycheda, dyro iddo ddiod:
canys wrth wneuthur hyn ti a bentyrri
|| farwor tanllyd ar ei ben ef.
21 Na orchfyger di gan ddrygioni, eithr
gorchfyga di ddrygioni trwy ddaioni.

a 2 Cor. 10. 1. b 1 Petr 2. 5. Psal. 50. 13, 14. Pen. 6. 13, 16. c Ioan 2. 15. d Eph. 1. 18. a 4. 23. Col. 1. 21, 22. a 3. 10. e Eph. 5. 10, 17. 1 Thess. 4. 3. f Pen. 15. 15. g Diar. 25. 27. Preg. 7. 16. h 1 Cor. 12. 7, 11. Eph. 4. 7. i 1 Cor. 12. 12. Eph. 4. 16. k 1 Cor. 10. 17. l 1 Cor. 12. 4. 1 Petr 4. 10, 11. m 1 Cor. 12. 10, 28. a 13. 2. a 14. 1, 29, 31. n Eph. 4. 11. 1 Tim. 5. 17. o Mat. 6. 1, 2, 3. p 1 Tim. 5. 17. q 2 Cor. 9. 7. r 1 Tim. 1. 5. 1 Petr 1. 22. s Psal. 36. 4. a 97. 10. Amos 5. 15. t Heb. 13. 1. 1 Petr 2. 17. u Phil. 2. 3. 1 Petr 5. 5. x Phil. 4. 4. 1 Thess. 5. 16, 17. y Luc 18. 1. z 1 Cor. 16. 1. a Heb. 13. 2. 1 Petr 4. 9. † *dilyn.* b Mat. 5. 44. c Pen. 15. 5. 1 Petr 3. 8. d Psal. 131. 1, 2. Jer. 45. 5. ‡ *yn foddlon i bethau isel.*

e Esay 5. 21. Pen. 11. 25. f Diar. 20. 22. Mat. 5. 39. 1 Thess. 5. 15. 1 Petr 3. 9. g 2 Cor. 8. 21. § *yn byw yn heddychlawn.* h Heb. 12. 14. i Lef. 19. 18. Eccl. 28. 1, &c. k Deut. 32. 35. Heb. 10. 30. l Diar. 25. 21. || *farwor tân.*

## PEN. XIII.

1 *Ymddarostwng, a llawer o bethau eraill, sydd ddyledus i'r llywodraethwŷr.* 8 *Mai cariad yw cyflawnder y ddeddf.* 11 *Bod glythineb, a meddwdod, a gweithredoedd y tywyllwch, yn annhymhoraidd yn amser yr efengyl.*

[a] YMDDAROSTYNGED pob enaid i'r 60.
awdurdodau goruchel: canys [b] nid
oes awdurdod ond oddi wrth Dduw; a'r aw-
durdodau y sydd, gan Dduw y maent wedi
eu † hordeinio.
2 Am hynny pwy bynnag sydd yn ym-
osod yn erbyn yr awdurdod, sydd yn gwrth-
wynebu ordinhâd Duw: a'r rhai a wrth-
wynebant, a dderbyniant farnedigaeth idd-
ynt eu hunain.
3 Canys tywysogion nid ydynt ofn i weith-
redoedd da, eithr i'r *rhai* drwg. A fynni di
nad ofnech yr awdurdod? gwna'r hyn sydd
dda, a [c] thi a gai glod ganddo.
4 Canys gweinidog Duw ydyw efe i ti er
daioni. Eithr os gwnei ddrwg, ofna; ca-
nys nid yw efe yn dwyn y cleddyf yn ofer:
oblegid gweinidog Duw yw efe, dïalydd
llid i'r hwn sydd yn gwneuthur drwg.
5 Herwydd paham [d] anghenrhaid yw ym-
ddarostwng, nid yn unig o herwydd llid,
eithr o herwydd cydwybod hefyd.
6 Canys am hyn yr ydych yn talu teyrn-
ged hefyd: oblegid gwasanaethwŷr Duw
ydynt hwy, yn gwylied ar hyn yma.
7 [e] Telwch gan hynny i bawb eu dyled-
ion: teyrn-ged, i'r hwn *y mae* teyrn-ged *yn*
*ddyledus*; toll, i'r hwn *y mae* toll; ofn, i'r
hwn *y mae* ofn; parch, i'r hwn *y mae* parch
*yn ddyledus.*
8 Na fyddwch yn nyled neb o ddim,
ond o garu bawb eich gilydd: canys [f] yr
hwn sydd yn caru arall, a gyflawnodd y
gyfraith.
9 Canys hyn, [g] Na odineba, Na ladd, Na
ladratta, Na ddwg gam dystiolaeth, Na
thrachwanta; ac od *oes* un gorchymyn arall,
y mae wedi ei gynnwys yn gryno yn yr ym-
adrodd hwn, ‡ Câr dy gymmydog fel ti dy
hun.
10 Cariad ni wna ddrwg i'w gymmyd
og: am hynny [h] cyflawnder y gyfraith *yw*
cariad.
11 A hyn, gan wybod yr amser, *ei bod* hi
weithian yn bryd i ni [i] i ddeffrôi o gysgu:
canys yr awrhon *y mae* ein hiachawdwr-
iaeth ni yn nês nâ phan gredasom.
12 Y nos a gerddodd ym mhell, a'r dydd
a nesaodd: am hynny [k] bwriwn oddi

a Tit. 3. 1. 1 Petr 2. 13. b Doeth. 6. 3. Ioan 19. 11. † *trefnu.* c 1 Petr 2. 14. d Preg. 8. 2. e Mat. 22. 21. Marc 12. 17. Luc 20. 25. f Gal. 5. 14. 1 Tim. 1. 5. Iago 2. 8. g Exod. 20. Deut. 5. ‡ Lef. 19. 18. Mat. 22. 39. Gal. 5. 14. Iago 2. 8. h Mat. 22. 40. Adn. 8. i 1 Cor. 15. 34. Eph. 5. 14. 1 Thess. 5. 6. k Eph. 5. 11. Col. 3. 8.

l Eph. 6. 13. wrthym weithredoedd y tywyllwch, a l gwis-
1 Thess. 5. gwn arfau y goleuni.
8. 13 m Rhodiwn yn † weddus, megis wrth
m Phil. 4. liw dydd; n nid mewn cyfeddach a me-
8. ddwdod, o nid mewn cyd-orwedd ac an-
1 Thess. 4. lladrwydd, p nid mewn cynnen a chynfigen.
12. 14 Eithr q gwisgwch am danoch yr Ar-
† onest. glwydd Iesu Grist, ac r na wnewch rag-
n Luc 21. ddarbod dros y cnawd, er mwyn *cyflawni ei*
34. chwantau *ef.*
1 Petr 4. 3.
o 1 Cor. 6.
9. p Iago 3. 14. q Gal. 3. 27. r Gal. 5. 16. 1 Petr 2. 11.

## PEN. XIV.

3 *Na ddylai dynion na dirmygu na chondem-*
*nio eu gilydd, am bethau nid ydynt na da*
*na drwg o honynt eu hunain; 13 eithr*
*gochelyd rhoddi achos tramgwydd ynddynt:*
*15 oblegid hynny y mae'r apostol yn ei brofi*
*ei fod yn anghyfreithlawn, trwy lawer o*
*resymmau.*

60. YR hwn sydd a wan yn y ffydd, der-
a 1 Cor. 8. byniwch attoch, † nid i ymrafaelion
9. a 9. 22. rhesymmau.
† nid i far- 2 Canys y mae un yn credu y gall fwytta
nu ei fed- pob peth; ac y mae arall, yr hwn sydd wan,
dyliau yn bwytta dail.
anhyspys. 3 b Yr hwn sydd yn bwytta, na ddirmyg-
b Col. 2. ed yr hwn nid yw yn bwytta; a'r hwn nid
16. yw yn bwytta, na farned ar yr hwn sydd
yn bwytta: canys Duw a'i derbyniodd ef.
c Iago 4. 12. 4 c Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu
gwas un arall? I'w arglwydd ei hun y mae
efe yn sefyll, neu yn syrthio: ac efe a gyn-
helir; canys fe a all Duw ei gynnal ef.
d Gal. 4. 10. 5 d Y mae un yn barnu diwrnod uwch
law diwrnod; *ac* arall yn barnu pob diwr-
nod yn *ogyfuwch.* Bydded pob un yn sier
yn ei feddwl ei hun.
6 Yr hwn sydd yn ystyried diwrnod, i'r
Arglwydd y mae yn *ei* ystyried; a'r hwn
sydd heb ystyried diwrnod, i'r Arglwydd
y mae heb *ei* ystyried. Yr hwn sydd yn
bwytta, i'r Arglwydd y mae yn bwytta;
e 1 Cor. 10. canys e y mae yn diolch i Dduw: a'r hwn
31. sy heb fwytta, i'r Arglwydd y mae heb
1 Tim. 4. 3. fwytta; ac y mae yn diolch i Dduw.
f 1 Cor. 6. 7 Canys f nid oes yr un o honom yn byw
19, 20. iddo ei hun, ac nid yw yr un yn marw iddo
Gal. 2. 20. ei hun.
1 Thess. 5. 8 Canys pa un bynnag yr ydym ai byw,
10. i'r Arglwydd yr ydym yn byw; ai marw,
1 Petr 4. 2. i'r Arglwydd yr ydym yn marw: am hyn-
ny, pa un bynnag yr ydym ai byw ai marw,
eiddo yr Arglwydd ydym.
g 2 Cor. 5. 9 Oblegid g er mwyn hyn y bu farw
15. Crist, ac yr adgyfododd, ac y bu fyw dra-
chefn hefyd, fel yr arglwyddiaethai ar y
h 2 Cor. 5. meirw a'r byw hefyd.
10. 10 Eithr paham yr wyt ti yn barnu dy
i Esay 45. frawd? neu paham yr wyt yn dirmygu dy
23. frawd? canys h gosodir ni oll ger bron gor-
Phil. 2. 10. sedd-fainge Crist.
k Mat. 12. 11 Canys y mae yn ysgrifenedig, i Byw
36. wyf fi, medd yr Arglwydd; pob glin a blyga
Gal. 6. 5. i mi, a phob tafod a gyffesa i Dduw.
‡ am dano 12 Felly gan hynny k pob un o honom
ei hun. ‡ drosto ei hun a rydd gyfrif i Dduw.
l 1 Cor. 10. 13 Am hynny na farnwn ein gilydd
32. mwyach: ond bernwch hyn yn hytrach,
m Act. 10. l na bo i neb roddi tramgwydd i'w frawd,
15. neu rwystr.
1 Cor. 10. 14 Mi a wn, ac y mae yn sicr gennyf
25. trwy'r Arglwydd Iesu, m nad *oes* dim yn
1 Tim. 4. § aflan o hono ei hun: ond n i'r hwn sydd
4. yn tybied fod peth yn aflan, i hwnnw *y*
Tit. 1. 15. *mae* yn aflan.
§ Gr. cy-
ffredin.
n 1 Cor. 8.
7, 10.

15 Eithr os o achos bwyd y tristeir dy
frawd, nid wyt ti mwyach yn rhodio yn ol
cariad. o Na ddistrywia ef â'th fwyd, dros o 1 Cor. 8.
yr hwn y bu Crist farw. 11.
16 Na chabler gan hynny eich daioni
chwi.
17 Canys nid yw teyrnas Dduw fwyd a
diod; ond cyfiawnder, a thangnefedd, a
llawenydd yn yr Ysbryd Glân.
18 Canys yr hwn sydd yn gwasanaethu
Crist yn y pethau hyn, sydd hoff gan Dduw,
a chymmeradwy gan ddynion.
19 Felly gan hynny dilynwn y pethau a
berthynant i heddwch, a'r pethau a berthy-
nant i adeiladaeth ein gilydd.
20 O achos bwyd na ddinystria waith
Duw. p Pob peth yn wir *sydd* lân; eithr p Mat. 15.
drwg *yw* i'r dyn sydd yn bwytta trwy dram- 11.
gwydd. Act. 10. 15.
21 Da *yw* na fwyttaer q cig, ac nad yfer Adn. 14.
gwin, na *dim* trwy'r hyn y tramgwydder, Tit. 1. 15.
neu y rhwystrer, neu y gwanhaer dy frawd. q 1 Cor. 8.
22 A oes ffydd gennyt ti? bydded hi gyd 13.
â thi dy hun ger bron Duw. Gwyn ei fyd
yr hwn nid yw yn ei farnu ei hun yn yr hyn ‖ canfod,
y mae yn ei dybied yn dda. ac yn
23 Eithr yr hwn sydd yn ‖ petruso, os gwneuthur
bwytty, efe a gondemniwyd, am nad yw rhagori-
*yn bwytta* o ffydd: a r pheth bynnag nid *yw* aeth
o ffydd, pechod yw. rhwng
bwydydd.
r Tit. 1. 15.

## PEN. XV.

1 *Rhaid i'r cryf gyd-ddwyn â'r gwan.* 2 *Na*
*ddylem ni ryngu ein bodd ein hunain,* 3 *gan*
*na wnaeth Crist hynny;* 7 *ond derbyn bob*
*un ein gilydd megis y derbyniodd Crist nin-*
*nau i gyd,* 8 *Iuddewon,* 9 *a Chenhedloedd.*
15 *Paul yn esgusodi ei 'sgrifen,* 28 *ac yn*
*addaw ymweled â hwynt,* 30 *ac yn deisyf*
*eu gweddiau.*

A a Nyni y rhai ydym gryfion, a ddylem 60.
gynnal gwendid y rhai gweiniaid, ac a Gal. 6. 1,
nid rhyngu ein bodd ein hunain. 2.
2 b Boddhaed pob un o honom *ei* gym- b 1 Cor. 9.
mydog yn yr hyn sy dda *iddo* er adeilad- 19, 22. a 10.
aeth. 24, 33. a 13
3 Canys Crist ni's boddhaodd ef ei hun; 5.
eithr megis y mae yn ysgrifenedig, c Gwa- Phil. 2. 4,
radwyddiadau y rhai a'th waradwyddent ti, 5.
a syrthiasant arnaf fi. c Psal. 69.
4 Canys d pa bethau bynnag a 'sgrifen- 9.
wyd o'r blaen, er addysg i ni yr ysgrifen- d Pen. 4.
wyd hwynt; fel trwy amynedd a diddanwch 23.
yr ysgrythyrau, y gallem gael gobaith. 1 Cor. 10.
5 e A Duw yr amynedd a'r diddanwch a 11.
roddo i chwi synied yr un peth tu ag at e Pen. 12.
eich gilydd † yn ol Crist Iesu: 16.
6 Fel y galloch yn unfryd, o un genau, 1 Cor. 1.
ogoneddu Duw, a Thad ein Harglwydd Iesu 10.
Grist. Phil. 3. 16.
7 O herwydd paham f derbyniwch eich † Neu,
gilydd, megis ag y derbyniodd Crist nin- yn ol
nau, i ogoniant Duw. csampl
8 Ac yr wyf yn dywedyd, g wneuthur Crist Iesu.
Iesu Grist yn weinidog i'r enwaediad, er f Pen. 14.
mwyn gwirionedd Duw, er mwyn ca- 1, 3.
darnhâu yr addewidion *a wnaethpwyd* i'r g Mat. 15.
tadau: 24.
9 Ac fel y byddai i'r Cenhedloedd ogo- Act. 3. 25,
neddu Duw am *ei* drugaredd fel y mae 26.
yn ysgrifenedig, h Am hyn y cyffesaf i ti h Psal. 18.
ym mhlith y Cenhedloedd, ac y canaf i'th 49.
enw.
10 A thrachefn y mae yn dywedyd,
i Ymlawenhêwch, Genhedloedd, gyd â'i i Deut. 32.
bobl ef. 43

11 A thrachefn, [k] Molwch yr Arglwydd, yr holl Genhedloedd; a chlodforwch ef yr holl bobloedd.

12 A thrachefn y mae Esaias yn dywedyd, [l] Fe fydd gwreiddyn Jesse, a'r hwn a gyfyd i lywodraethu 'r Cenhedloedd: ynddo ef y gobeithia 'r Cenhedloedd.

13 A Duw 'r gobaith a'ch cyflawno o bob llawenydd a thangnefedd gan gredu, fel y cynnyddoch mewn gobaith trwy nerth yr Yspryd Glân.

14 Ac [m] yr wyf fi fy hun, fy mrodyr, yn credu am danoch chwi, eich bod chwithau yn llawn daioni, wedi eich cyflawni o bob gwybodaeth, ac yn abl i rybuddio eich gilydd hefyd.

15 Eithr mi a 'sgrifenais yn hyfach o beth attoch, *O* frodyr, fel un yn dwyn ar gof i chwi, [n] trwy y gras a roddwyd i mi gan Dduw;

16 Fel [o] y byddwn weinidog i Iesu Grist at y Cenhedloedd, gan weini i efengyl Dduw, fel y byddai [p] offrymiad y Cenhedloedd yn gymmeradwy, wedi ei sancteiddio gan yr Yspryd Glân.

17 Y mae i mi gan hynny orfoledd yng Nghrist Iesu, o ran y pethau a berthyn i Dduw.

18 Canys ni feiddiaf fi ddywedyd dim o'r pethau ni weithredodd Crist trwof fi, [q] i *wneuthur* y Cenhedloedd yn ufudd ar air a gweithred.

19 Trwy nerth arwyddion a rhyfeddodau, gan nerth Yspryd Duw; hyd pan o Jerusalem, ac o amgylch hyd Illyricum, y llenwais efengyl Grist.

20 Ac felly gan ymorchestu i bregethu 'r efengyl, nid lle yr enwid Crist; [r] fel nad adeiladwn ar sail un arall:

21 Eithr megis y mae yn ysgrifenedig, [s] I 'r rhai ni fynegwyd am dano, hwynt hwy a'i gwelant *ef*; a'r rhai ni chlywsant, a ddeallant.

22 Am hynny hefyd [t] y'm lluddiwyd yn fynych i ddyfod attoch chwi.

23 Eithr yr awrhon, gan nad oes gennyf le mwyach yn y gwledydd hyn, a hefyd [u] bod arnaf hiraeth er ys llawer o flynyddoedd am ddyfod attoch chwi;

24 Pan elwyf i'r Hispâen, myfi a ddeuaf attoch chwi. Canys yr wyf yn gobeithio, wrth fyned heibio, y caf eich gweled, a'm hebrwng gennych yno, os byddaf yn gyntaf o ran wedi fy llenwi † o honoch.

25 Ac yr awrhon [x] yr wyf fi yn myned i Jerusalem, i weini i 'r saint.

26 Canys [y] rhyngodd bodd i 'r rhai o Macedonia ac Achaia wneuthur rhyw gymmorth i'r rhai tlodion o'r saint *sydd* yn Jerusalem.

27 Canys rhyngodd bodd iddynt; a'u dyledwyr hwy ydynt. Oblegid [z] os cafodd y Cenhedloedd gyfran o'u pethau ysprydol hwynt, [a] hwythau hefyd a ddylent weini iddynt hwythau mewn pethau cnawdol.

28 Wedi i mi gan hynny orphen hyn, a selio iddynt [b] y ffrwyth hwn, mi a ddeuaf ‡ heboch i'r Hispaen.

29 [c] Ac mi a wn, pan ddelwyf attoch, y deuaf â chyflawnder bendith efengyl Grist.

30 Eithr yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, er mwyn ein Harglwydd Iesu Grist, ac [d] er cariad yr Yspryd, [e] ar gyd-ymdrech o honoch gyd â myfi mewn gweddïau drosof fi at Dduw;

31 [f] Fel y'm gwareder oddi wrth y rhai § anufudd yn Judea; ac ar fod fy ngweinidogaeth, yr hon *sydd gennyf* i Jerusalem, yn gymmeradwy gan y saint;

32 [g] Fel y delwyf attoch mewn llawenydd, [h] trwy ewyllys Duw, ac y'm cydlonner gyd â chwi.

33 A [i] Duw 'r heddwch *fyddo* gyd â chwi oll. Amen.

[k] Psal. 117. 1. [l] Esay 11. 1, 10. [m] 2 Petr 1. 12. 1 Ioan 2. 21. [n] 1 Cor. 3. 10. [o] Pen. 11. 13. Gal. 2. 7, 8, 9. 1 Tim. 2. 7. 2 Tim. 1. 11. [p] Esay 66. 20. Phil. 2. 17. [q] Pen. 1. 5. a 16. 26. [r] 2 Cor. 10. 13, 15, 16. [s] Esay 52. 15. [t] Pen. 1. 13. 1 Thess. 2. 17, 18. [u] Act. 19. 21. Pen. 1. 11. Adn. 32. † Neu, o'ch cymdeithas. Gr. a chwi. Adn. 32. [x] Act. 19. 21. a 24. 17. [y] 1 Cor. 16. 1, 2. 2 Cor. 9. 2, 12. [z] Pen. 11. 17. [a] 1 Cor. 9. 11. Gal. 6. 6. [b] Phil. 4. 17. ‡ heibio i chwi. [c] Pen. 1. 11. [d] Phil. 2. 1. [e] 2 Cor. 1. 11. Col. 4. 12. [f] 2 Thess. 3. 2. § heb gredu. [g] Pen. 1. 10. [h] Act. 18. 21. 1 Cor. 4. 19. Iago 4. 15.

[i] Pen. 16. 20. 1 Cor. 14. 33. 2 Cor. 13. 11. Phil. 4. 9. 1 Thess. 5. 23. 2 Thess. 3. 16. Heb. 13. 20.

## PEN. XVI.

*3 Paul yn ewyllysio i 'r brodyr annerch llawer; 17 ac yn eu cynghori hwy i ochelyd y rhai sydd yn peri anghydfod a rhwystrau: 21 ac ar ol amryw anherchion, yn diweddu gyd â moliant a diolch i Dduw.*

YR wyf yn gorchymmyn i chwi Phebe ein chwaer, yr hon sydd weinidoges i eglwys Cenchrea: 60.

2 Dderbyn o honoch hi yn yr Arglwydd, [a] *megis y mae* yn addas i saint, a'i chynnorthwyo hi ym mha beth bynnag y byddo rhaid iddi wrthych: canys hithau hefyd a fu gymmorth i lawer, ac i minnau fy hun hefyd.

3 Anherchwch [b] Priscila ac Acwila, fy nghyd-weithwyr yng Nghrist Iesu:

4 (Y rhai dros fy mywyd i a ddodasant eu gyddfau eu hunain i lawr; i'r rhai nid wyf fi yn unig yn diolch, ond hefyd holl eglwysydd y Cenhedloedd)

5 *Anherchwch* hefyd [c] yr eglwys sydd yn eu tŷ hwy. Anherchwch fy anwyl Epenetus, yr hwn yw [d] blaen-ffrwyth Achaia yng Nghrist.

6 Anherchwch Mair, yr hon a gymmerodd lawer o boen erom ni.

7 Anherchwch Andronicus a Junia, fy ngheraint a'm cyd-garcharorion, y rhai sy hynod ym mhlith yr apostolion, y rhai hefyd [e] oeddynt yng Nghrist o'm blaen i.

8 Anherchwch Amplias, fy anwylyd yn yr Arglwydd.

9 Anherchwch Urbanus, ein cyd-weithiwr yng Nghrist, a Stachys fy anwylyd.

10 Anherchwch Apèles, y profedig yng Nghrist. Anherchwch y rhai sy o † *dylwyth* Aristobulus.

11 Anherchwch Herodion, fy nghâr. Anherchwch y rhai sy o ‡ *dylwyth* Narcissus, y rhai sydd yn yr Arglwydd.

12 Anherchwch Tryphena a Thryphosa, y rhai a gymmerasant boen yn yr Arglwydd. Anherchwch yr anwyl Persis, yr hon a gymmerodd lawer o boen yn yr Arglwydd.

13 Anherchwch Ruffus etholedig yn yr Arglwydd, a'i fam ef a minnau.

14 Anherchwch Asyncritus, Phlegon, Hermas, Patrobas, Mercurius, a'r brodyr sy gyd â hwynt.

15 Anherchwch Philologus, a Julia, Nerëus, a'i chwaer, ac Olympas, a'r holl saint y rhai sydd gyd â hwynt.

16 [f] Anherchwch y naill y llall â chusan sanctaidd. Y mae eglwysi Crist yn eich annerch.

17 Ac yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, graffu ar y rhai sy yn peri anghydfod a rhwystrau, yn erbyn yr athrawiaeth a ddysgasoch chwi; a [g] chiliwch oddi wrthynt.

18 Canys y rhai sy gyfryw, nid ydynt yn gwasanaethu ein Harglwydd Iesu Grist, eithr [h] eu bol eu hunain; a thrwy ymadrodd teg a gweniaith, yn twyllo calonnau y rhai diddrwg

[a] 3 Ioan 6. [b] Act. 18. 2, 26. 2 Tim. 4. 19. [c] 1 Cor. 16. 19. Col. 4. 15. Philem. 2. [d] 1 Cor. 16 15. [e] Gal. 1. 22. † geraint. ‡ geraint. [f] 1 Cor. 16. 20. 2 Cor. 13. 12. 1 Thess. 5. 26. 1 Petr 5. 14. [g] 1 Cor. 5. 9, 11. 2 Thess. 3. 6, 14. 2 Tim. 3. 5. 2 Ioan 10. [h] Phil. 3. 19.

19 Canys eich ufudd-dod chwi a ddaeth ar led at bawb. Yr wyf fi gan hynny yn llawen o'ch rhan chwi; eithr myfi a ewyllysiwn i chwi fod [k] yn ddoethion tu ag at y peth sy dda, ac yn wirion tu ag at y peth sy ddrwg.

20 A [l] Duw y tangnefedd a [m] † sathr Satan dan eich traed chwi ar frys. [n] Gras ein Harglwydd Iesu Grist *fyddo* gyd â chwi. Amen.

21 [o] Y mae Timotheus fy nghyd-weithiwr, a Lucius, a Jason, a Sosipater, fy ngheraint, yn eich annerch.

22 Yr wyf fi Tertius, yr hwn a 'sgrifenais yr epistol *hwn*, yn eich annerch yn yr Arglwydd.

23 Y mae Gaius fy llettywr i, a'r holl eglwys, yn eich annerch. Y mae Erastus, goruchwyliwr y ddinas, yn eich annerch, a'r brawd Cwartus.

i Pen. 1. 8. — k Mat. 10. 16. 1 Cor. 14. 20. — l Pen. 15. 33. — m Gen. 3. 15. — † *ysiga.* — n Adn. 21. 1 Cor. 16. 23. Dat. 22. 21. — o Act. 16. 1. Phil. 2. 19. 1 Thess. 3. 2.

24 [p] Gras ein Harglwydd Iesu Grist *a fyddo* gyd â chwi oll. Amen.

25 [q] I'r hwn a ddichon eich cadarnhâu yn ol fy efengyl i, a phregethiad Iesu Grist (yn ol datguddiad [r] y dirgelwch, yr hwn ni soniwyd am dano er ‡ dechreuad y byd;

26 Ac [s] yr awrhon a eglurwyd, a thrwy ysgrythyrau'r prophwydi, yn ol gorchymyn y tragywyddol Dduw, a gyhoeddwyd ym mhlith yr holl genhedloedd, er mwyn [t] ufudd-dod ffydd)

27 I [u] Dduw *yr* unig ddoeth, *y byddo* gogoniant trwy Iesu Grist yn dragywydd. Amen.

¶ At y Rhufeiniaid yr ysgrifenwyd o Corinthus, gyd â Phebe gweinidoges yr eglwys yn Cenchrea.

p Adn. 20. 1 Thess. 5. 28. — q Eph. 3. 20. Judas 24. — r 1 Cor. 2. 7. Eph. 3. 3, 9. Col. 1. 26. — ‡ *amseroedd tragywyddol.* — s 2 Tim. 1. 10. Tit. 1. 2, 3. 1 Petr 1. 20. — t Act. 6. 7. Pen. 1. 5. a 15. 18. — u 1 Tim. 1. 17. Judas 25.

---

# ¶ Epistol cyntaf PAUL yr Apostol at y CORINTHIAID.

## PEN. 1.

*Ar ol iddo gyfarch iddynt, a diolch drostynt, 10 y mae efe yn eu hannog i undeb; 12 ac yn beio ar eu hanghyttundeb hwy. 18 Bod Duw yn difetha doethineb y doethion, 21 trwy ffolineb pregethu; 26 ac nad yw efe yn galw y doethion, na'r galluog, na'r boneddigion, ond 27, 28 y ffol, a'r gwan, a'r distadl.*

Bl. yr Argl. 59.

PAUL, wedi ei alw *i fod* yn apostol Iesu Grist, trwy ewyllys Duw, a'r brawd [a] Sosthenes,

2 At eglwys Dduw yr hon sydd yn Corinth, at [b] y rhai [c] a sancteiddiwyd yng Nghrist Iesu, [d] a alwyd yn saint, gyd â phawb ag sydd [e] yn galw ar enw ein Harglwydd Iesu Grist, ym mhob man, † o'r eiddynt hwy a ninnau.

3 [f] Gras *fyddo* i chwi, a thangnefedd oddi wrth Dduw ein Tad ni, a'r Arglwydd Iesu Grist.

4 [g] Yr ydwyf yn diolch i'm Duw bob amser drosoch chwi, am y gras Duw a rodded i chwi yng Nghrist Iesu:

5 Am eich bod ym mhob peth wedi eich cyfoethogi ynddo ef, [h] mewn pob ymadrodd, a phob gwybodaeth;

6 Megis y cadarnhawyd [i] tystiolaeth Crist ynoch.

7 Fel nad ydych yn ol mewn un dawn, [k] yn disgwyl am ‡ ddatguddiad ein Harglwydd Iesu Grist:

8 [l] Yr hwn hefyd a'ch cadarnhâ chwi hyd y diwedd, [m] yn ddiargyoedd, yn nydd ein Harglwydd Iesu Grist.

9 [n] Ffyddlawn *yw* Duw, trwy yr hwn y'ch galwyd i [o] gymdeithas ei Fab ef Iesu Grist ein Harglwydd ni.

10 Ac yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, trwy enw ein Harglwydd Iesu Grist, [p] ddywedyd o bawb o honoch chwi yr un peth, ac na byddo § ymbleidio yn eich plith; eithr bod o honoch wedi eich cyfangyssylltu yn yr un meddwl, ac yn yr un farn.

11 Canys fe ddangoswyd i mi am danoch chwi, fy mrodyr, gan y rhai *sy o dŷ* Chloë, fod cynhennau yn eich plith chwi.

12 A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, [q] bod pob un o honoch yn dywedyd, Yr ydwyf fi yn eiddo Paul; minnau yn eiddo [r] Apòlos; minnau yn eiddo [s] Cephas; minnau yn eiddo Crist.

13 A rannwyd Crist? ai Paul a groeshoeliwyd drosoch? neu ai yn enw Paul y'ch bedyddiwyd chwi?

14 Yr ydwyf yn diolch i Dduw, na fedyddiais i neb o honoch, ond [t] Crispus a [u] Gaius;

15 Fel na ddywedo neb fedyddio o honof fi yn fy enw fy hun.

16 Mi a fedyddiais hefyd dylwyth [x] Stephanas: heb law hynny ni's gwn a fedyddiais i neb arall.

17 Canys ni anfonodd Crist fi i fedyddio, ond i efangylu; [y] nid mewn doethineb ‖ ymadrodd, fel na wnelid croes Crist yn ofer.

18 Canys † yr ymadrodd am y groes, [z] i'r rhai colledig, ynfydrwydd yw; eithr i ni y rhai cadwedig, [a] nerth Duw ydyw.

19 Canys ysgrifenedig yw, [b] Mi a ddifethaf ddoethineb y doethion, a deall y rhai deallus a ddileaf.

20 ‡ Pa le *y mae*'r doeth? pa le *mae*'r ysgrifenydd? pa le *y mae* ymholydd y byd hwn? § oni wnaeth Duw ddoethineb y byd hwn yn ynfydrwydd?

21 [c] Canys o herwydd yn noethineb Duw nad adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw, fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sy yn credu.

22 Oblegid y mae'r [d] Iuddewon yn gofyn arwydd, a'r Groegwŷr yn ceisio doethineb:

23 Eithr nyni ydym yn pregethu Crist wedi ei groes-hoelio, [e] i'r Iuddewon yn dramgwydd, ac i'r Groegwŷr yn ffolineb;

24 Ond iddynt hwy y rhai a alwyd, Iuddewon a Groegwŷr, yn Grist [f] gallu Duw, a [g] doethineb Duw.

25 Canys y mae ffolineb Duw yn ddoethach nâ dynion; a gwendid Duw yn gryfach nâ dynion.

26 Canys yr ydych yn gweled eich galwedigaeth, frodyr, [h] nad llawer *o rai* doethion yn ol y cnawd, nad llawer *o rai* galluog, nad llawer *o rai* boneddigion, *a alwyd.*

27 Eithr [i] Duw a etholodd ffol-bethau y byd, fel y gwaradwyddai y doethion; a gwan-bethau y byd a etholodd Duw, fel y gwaradwyddai y pethau cedyrn;

28 A phethau distadl y byd, a phethau

a Act. 18. 17. — b Judas 1. — c Act. 15. 9. — d 1 Thess. 4. 7. — e 2 Tim. 2. 22. — † Neu, *sef eu Harglwydd hwy a ninnau.* — f 2 Cor. 1. 2. Eph. 1. 2. 1 Petr 1. 2. — g Rhuf. 1. 8. — h Pen. 12. 8. 2 Cor. 8. 7. — i Dat. 1. 2. — k Phil. 3. 20. Tit. 2. 13. — ‡ Neu, *ddyfodiad,* Col. 3. 4. — l 1 Thess. 3. 13. — m Col. 1. 22. 1 Thess. 5. 23. — n Pen. 10. 13. 1 Thess. 5. 24. 2 Thess. 3. 3. — o 1 Ioan 1. 3. — p Rhuf. 12. 16. a 15. 5. Phil. 2. 2. a 3. 16. — § *rhwygau,* Pen. 11. 18. — q Pen. 3. 4.

r Act. 18. 24. — s Ioan 1. 42. — t Act. 18. 8. — u Rhuf. 16. 23. — x Pen. 16. 15, 17. — y Pen. 2. 1, 4, 13. 2 Petr 1. 16. — ‖ *geiriau.* — † *pregethu y groes.* — z 2 Cor. 2. 15. — a Pen. 15. 2. — b Job 5. 12, 13. Esay 29. 14. — ‡ Esay 33. 18. — § Job 12. 17, 20, 24. — c Rhuf. 1. 20, 21, 28. Edrych Mat. 11. 25. Luc 10. 21. — d Mat. 12. 38. a 16. 1. Ioan 4. 48. — e Mat. 11. 6. Ioan 6. 60, 66. — f Rhuf. 1. 16. — g Col. 2. 3. — h Ioan 7. 48. — i Mat. 11. 25. Iago 2. 5.

dirmygus, a ddewisodd Duw, a'r pethau nid
ydynt, fel y diddymai y pethau sydd;
29 [k] Fel na orfoleddai † un cnawd ger ei
fron ef.
30 Eithr yr ydych chwi o hono ef yng
Nghrist Iesu, [l] yr hwn a wnaethpwyd i ni
gan Dduw yn ddoethineb, ac yn gyfiawn-
der, ac yn sancteiddrwydd, ac yn bryned-
igaeth:
31 Fel, megis ag y mae yn ysgrifenedig,
[m] Yr hwn sydd yn ymffrostio, ymffrostied
yn yr Arglwydd.

## PEN. II.

*1 Mae efe yn dangos fod ei bregeth ef, er nad
ydoedd yn dwyn gyd â hi odidowgrwydd
ymadrodd, 4 neu ddoethineb dynol: etto
yn sefyll mewn 4, 5 nerth Duw; ac yn
rhagori cymmaint 6 ar ddoethineb y byd
yma, 9 a synwyr dynol, ag na's 14 gall y
dyn anianol mo'i deall.*

59.
A Myfi, pan ddaethum attoch, frodyr, [a] a
ddaethum nid yn ol godidowgrwydd
ymadrodd, neu ddoethineb, gan fynegi i
chwi dystiolaeth Dduw.
2 Canys ni fernais i mi wybod dim yn
eich plith, [b] ond Iesu Grist, a hwnnw wedi
ei groes-hoelio.
3 A [c] mi a fum yn eich mysg [d] mewn
gwendid, ac ofn, a dychryn mawr.
4 A'm hymadrodd, a'm pregeth i, [e] ni
*bu* mewn geiriau † denu, o ddoethineb
ddynol, ond yn eglurhâd yr Yspryd a
nerth:
5 Fel na byddai eich ffydd mewn doeth-
ineb dynion, ond [f] mewn nerth Duw.
6 A doethineb yr ydym ni yn ei llefaru
ym mysg [g] rhai perffaith: eithr nid doeth-
ineb y byd hwn, na thywysogion y byd
hwn, y rhai sy yn diflannu.
7 Eithr yr ydym ni yn llefaru doeth-
ineb Duw mewn dirgelwch, *sef y ddoethineb*
guddiedig [h] yr hon a rag-ordeiniodd Duw
cyn yr oesoedd i'n gogoniant ni.
8 [i] Yr hon ni adnabu neb o dywysogion
y byd hwn: o herwydd [k] pes adwaena-
sent, ni chroes-hoeliasent Arglwydd y go-
goniant.
9 Eithr fel y mae yn ysgrifenedig, [l] Ni
welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni
ddaeth i galon dyn, y pethau a ddarparodd
Duw i'r rhai a'i carant ef.
10 Eithr [m] Duw a'u heglurodd i ni trwy
ei Yspryd: canys yr Yspryd sydd yn chwil-
io pob peth; ïe, dyfnion bethau Duw he-
fyd.
11 Canys pa ddyn a edwyn bethau dyn,
[n] ond yspryd dyn yr hwn sydd ynddo ef?
felly hefyd, pethau Duw nid edwyn neb,
ond Yspryd Duw.
12 A nyni a dderbyniasom, nid yspryd y
byd, ond [o] yr Yspryd sydd o Dduw; fel y
gwypom y pethau a rad-roddwyd i ni gan
Dduw.
13 [p] Y rhai yr ydym yn eu llefaru hefyd,
nid â'r geiriau a ddysgir gan ddoethineb
ddynol, ond a ddysgir gan yr Yspryd Glân;
gan gyd-farnu pethau ysprydol â phethau
ysprydol.
14 Eithr dyn anianol nid yw yn derbyn
y pethau sydd o Yspryd Duw: canys ffol-
ineb ydynt ganddo ef; [q] ac ni's gall eu gwy-
bod, oblegid yn ysprydol y bernir hwynt.
15 [r] Ond yr hwn sydd ysprydol, sydd
yn ‡ barnu pob peth; eithr efe ni's § bernir
gan neb.

[k] Rhuf. 3. 27. Eph. 2. 9. † p.o gnawd. [l] Jer. 23. 5, 6. Ioan 17. 19. [m] Jer. 9. 23, 24. 2 Cor. 10. 17.
[a] Pen. 1. 17. [b] Gal. 6. 14. [c] Act. 18. 1, 6, 12. [d] 2 Cor. 11. 30. a 12. 5, 9. Gal. 4. 13. [e] 2 Petr 1. 16. † hygoel. [f] 2 Cor. 4. 7. a 6. 7. [g] Phil. 3. 15. Heb. 5. 14. [h] Rhuf. 16. 25, 26. Eph. 3. 9. Col. 1. 26. 2 Tim. 1. 9. [i] Mat. 11. 25. Act. 13. 27. [k] Act. 3. 17. Edrych Ioan 16. 3. [l] Esay 64. 4. [m] Mat. 13. 11. a 16. 17. 1 Ioan 2. 27. [n] Diar. 20. 27. a 27. 19. Jer. 17. 9. [o] Rhuf. 8. 15. [p] 2 Petr 1. 16. Edrych Pen. 1. 17. [q] Rhuf. 8. 5, 6, 7. Judas 19. [r] Diar. 28. 5. 1 Thess. 5. 21. ‡ canfod. § cannyddir.

16 [s] Canys pwy a wybu feddwl yr Ar-
glwydd, yr hwn a'i cyfarwydda ef? Ond y
mae gennym ni feddwl Crist.

## PEN. III.

*2 Bod llaeth yn gymmwys i blant; 3 cynnen
ac ymbleidio yn arwyddion o feddwl bydol.
7 Nad yw'r hwn sydd yn plannu, na'r hwn
sydd yn dyfrhâu, ddim. 9 Bod y gweini-
dogion yn gyd-weithwŷr i Dduw. 11 Crist
yw'r unig sylfaen. 16 Bod dynion yn
demlau Duw, y rhai 17 sydd raid eu cadw
yn sanctaidd. 19 Nad yw doethineb y byd
yma ond ffolineb gyd â Duw.*

A Myfi, frodyr, ni allwn lefaru wrthych 59.
megis wrth rai ysprydol, ond megis
rhai cnawdol, megis wrth rai bach yng
Nghrist.
2 Mi a roddais i chwi [a] laeth i'w yfed, ac
nid bwyd: canys hyd yn hyn ni's gallech,
ac ni's gellwch chwaith etto yr awrhon *ei
dderbyn.*
3 Canys cnawdol ydych chwi etto: canys
[b] tra *fyddo* yn eich plith chwi gynfigen, a
chynnen, ac ymbleidio; onid ydych yn
gnawdol, ac yn rhodio yn † ddynol?
4 Canys tra dywedo un, [c] Myfi ydwyf
eiddo Paul; ac arall, Myfi *wyf* eiddo Apò-
los; onid ydych chwi yn gnawdol?
5 Pwy gan hynny yw Paul, a phwy Apò-
los, ond gweinidogion trwy y rhai y creda-
soch chwi, ac fel y rhoddes yr Arglwydd i
bob un?
6 Myfi a blennais, Apòlos a ddyfrhaodd;
ond Duw a roddes y cynnydd.
7 Felly nid yw yr hwn sydd yn plannu
ddim, na'r hwn sydd yn dyfrhâu; ond
Duw yr hwn sydd yn rhoi y cynnydd.
8 Eithr yr hwn sydd yn plannu, a'r hwn
sydd yn dyfrhâu, un ydynt; [d] a phob un a
dderbyn ei briod wobr ei hun, yn ol ei lafur
ei hun.
9 Canys [e] cyd-weithwŷr Duw ydym ni:
llafur-waith Duw, [f] adeiladaeth Duw, ydych
chwi.
10 [g] Yn ol y gras Duw a roddwyd i mi,
megis pen-saer celfydd, myfi a osodais [h] y
sylfaen, ac y mae arall yn goruwch-adeil-
adu. Ond [i] edryched pob un pa wedd y
mae yn goruwch-adeiladu.
11 Canys sylfaen arall ni's gall neb ei
osod, heb law [k] yr un a osodwyd, [l] yr hwn
yw Iesu Grist.
12 Eithr os goruwch-adeilada neb ar y
sylfaen hwn, aur, arian, meini gwerthfawr,
coed, gwair, sofl:
13 [m] Gwaith pob dyn a ‡ wneir yn amlwg:
canys y dydd a'i dengys, oblegid [n] trwy
dân y datguddir ef: a'r tân a brawf waith
pawb, pa fath ydyw.
14 Os gwaith neb a erys yr hwn a
oruwch-adeiladodd ef, efe a dderbyn
wobr.
15 Os gwaith neb a losgir, efe a gaiff
golled: eithr efe ei hun a fydd cadwedig;
etto felly, megis trwy dân.
16 [o] Oni wyddoch chwi mai teml Dduw
ydych, a bod Yspryd Duw yn trigo yn-
och?
17 Os § llygra neb deml Dduw, Duw a
‖ lygra hwnnw: canys sanctaidd yw teml
Dduw, yr hon ydych chwi.
18 [p] Na thwylled neb ei hunan. Od oes
neb yn eich mysg yn tybied ei fod ei hun
yn ddoeth yn y byd hwn, bydded ffol, fel y
byddo doeth.

[s] Esay 40. 13. [a] Heb. 5. 12, 13. 1 Petr 2. 2. [b] Gal. 5. 20. Iago 3. 16. † Gr. yn ol dyn. [c] Pen. 1. 12. [d] Psal. 62. 12. Gal. 6. 5. Dat. 2. 23. [e] 2 Cor. 6. 1. [f] Eph. 2. 20. Heb. 3. 3, 4. 1 Petr 2. 5. [g] Pen. 15. 1. [h] Rhuf. 15. 20. Dat. 21. 14. [i] 1 Petr 4. 11. [k] Esay 28. 16. Mat. 16. 18. [l] Eph. 2. 20. [m] Pen. 4. 5. ‡ Gr. amlygwyd. [n] 1 Petr 1. 7. a 4. 12. [o] Pen 6. 19. 2 Cor. 6. 16. Eph. 2. 21, 22. Heb. 3. 6. § difetha. ‖ distrywia. [p] Diar. 3. 7. Esay 5. 21.

19 Canys doethineb y byd hwn sydd ffoli-
neb gyd â Duw: o herwydd ysgrifenedig
yw, [q] Y mae efe yn dal y doethion yn eu
cytrwysdra.
20 A thrachefn, [r] Y mae 'r Arglwydd yn
gwybod meddyliau'r doethion, mai ofer
ydynt.
21 Am hynny na orfoledded neb mewn dy-
nion: canys pob peth sydd eiddoch chwi:
22 Pa un bynnag ai Paul, ai Apòlos, ai
Cephas, ai'r byd, ai bywyd, ai angau, ai
pethau presennol, ai pethau i ddyfod; y
mae pob peth yn eiddoch chwi;
23 A [s] chwithau yn eiddo Crist; a Christ yn
eiddo Duw.

[q] Job 5. 13.
[r] Psal. 94. 11.
[s] Pen. 11. 3. 2 Cor. 10. 7. Gal. 3. 29

## PEN. IV.

*1 Pa gyfrif a ddylid ei wneuthur o weinidogion. 7 Nad oes gennym ni ddim a'r na's derbyniasom. 9 Bod yr apostolion yn ddrychau i'r byd, i'r angylion, ac i ddynion; 13 yn ysgubion, ac yn sorod y byd: 15 ac er hynny eu bod yn dadau i ni yng Nghrist, 16 ac y dylem ni eu dilyn hwy.*

59. FELLY cyfrifed dyn nyni, megis [a] gwei-
nidogion i Grist, a [b] goruch-wylwŷr ar
ddirgeledigaethau Duw.
2 Am ben hyn, yr ydys yn disgwyl mewn
goruch-wylwŷr, gael un yn ffyddlon.
3 Eithr gennyf fi bychan iawn yw fy
marnu gennych chwi, neu gan † farn dyn:
ac nid wyf chwaith yn fy marnu fy hun.
4 Canys ni wn i ddim arnaf fy hun;
[c] ond yn hyn ni'm cyfiawnhawyd: eithr yr
Arglwydd yw yr hwn sydd yn fy marnu.
5 [d] Am hynny na fernwch ddim cyn yr
amser, hyd oni ddelo 'r Arglwydd, yr hwn
a oleua ddirgelion y tywyllwch, ac a eglura
fwriadau y calonnau: ac yna y bydd [e] y
glod i bob un gan Dduw.
6 A'r pethau hyn, frodyr, [f] mewn cyffe-
lybiaeth a fwriais i attaf fy hun, ac at Apòl-
os, o'ch achos chwi: fel y gallech ddysgu
ynom ni, na synier mwy nag sydd ysgrif-
enedig, fel na byddoch y naill dros y llall
yn ymchwyddo yn erbyn arall.
7 Pwy sydd yn gwneuthur rhagor rhyngot
ti *ac arall?* a [g] pha beth sydd gennyt a'r na's
derbyniaist? ac os derbyniaist, paham yr
wyt ti yn gorfoleddu, megis pe bait heb
dderbyn?
8 Yr ydych chwi yr awrhon wedi eich
diwallu, [h] yr ydych chwi yr awrhon wedi
eich cyfoethogi, chwi a deyrnasasoch heb-
ddom ni: ac och Dduw na baech yn teyrn-
asu, fel y caem ninnau deyrnasu gyd â chwi.
9 Canys tybied yr wyf ddarfod i Dduw
ein dangos ni yr apostolion diweddaf, [i] fel
rhai wedi eu bwrw i angau: oblegid [k] nyni
a wnaethpwyd yn ‡ ddrych i'r byd, ac i'r
angylion, ac i ddynion.
10 [l] *Yr ydym* ni [m] yn ffyliaid er mwyn
Crist, a chwithau yn ddoethion yng Nghrist;
[n] nyni yn weiniaid, a chwithau yn gryfion;
chwychwi yn anrhydeddus, a ninnau yn
ddirmygus.
11 [o] Hyd yr awrhon yr ydym ni yn
dwyn newyn a syched, ac yr ydym ni yn
noethion, ac [p] yn cael cernodiau, ac yn
grwydraidd;
12 [q] Ac yr ydym yn llafurio, gan weithio
â'n dwylaw ein hunain. [r] Pan y'n difenwir,
yr ydym yn bendithio; pan y'n herlidir, yr
ydym yn ei ddïoddef;
13 Pan y'n ceblir, yr ydym yn gweddïo:
[s] fel ysgubion y byd y gwnaethpwyd ni, *a*
sorod pob dim hyd yn hyn.

[a] Mat. 24. 45. 2 Cor. 6. 4. Col. 1. 25.
[b] Luc 12. 42. Tit. 1. 7. 1 Petr 4. 10.
† Gr. *ddydd dyn.*
[c] Psal. 130. 3. a 143. 2. Rhuf. 4. 2.
[d] Mat. 7. 1. Rhuf. 2. 1, 16. Dat. 20. 12.
[e] 2 Cor. 10. 18.
[f] Pen. 1. 12. a 3. 4.
[g] Ioan 3. 27.
[h] Dat. 3. 17.
[i] Psal. 44. 22. Rhuf. 8. 36. 2 Cor. 4. 11.
[k] Heb. 10. 33.
‡ Gr. *theatr.*
[l] Pen. 2. 3.
[m] Act. 17. 18. a 26. 24.
[n] 2 Cor. 13. 9.
[o] 2 Cor. 4. 8. a 11. 23.
[p] Act. 23. 2.
[q] Act. 18. 3. a 20. 34. 1 Thess. 2. 9. 2 Thess. 3. 8.
[r] Mat. 5. 44. Luc 6. 28. a 23. 34. Act. 7. 60.
[s] Galar. 3. 45.

14 Nid i'ch gwaradwyddo chwi yr ydwyf
yn ysgrifenu y pethau hyn; ond *eich* rhy-
buddio yr wyf [t] fel fy mhlant anwyl.
15 Canys pe byddai i chwi ddeng mil o
athrawon yng Nghrist, er hynny nid *oes i*
*chwi* nemmawr o dadau: canys [u] myfi a'ch
cenhedlais chwi yng Nghrist Iesu, trwy 'r
efengyl.
16 Am hynny yr wyf yn attolwg i chwi,
[x] byddwch ddilynwŷr i mi.
17 Oblegid hyn yr anfonais attoch Ti-
mothëus, [y] yr hwn yw fy anwyl fab, a
ffyddlawn yn yr Arglwydd, yr hwn a ddwg
ar gof i chwi fy ffyrdd i yng Nghrist, megis
yr wyf ym mhob man yn athrawiaethu ym
mhob eglwys.
18 Ac y mae rhai wedi ymchwyddo, fel pe
bawn i heb fod ar fedr dyfod attoch chwi.
19 [z] Eithr mi a ddeuaf attoch ar fyrder,
[a] os yr Arglwydd a'i myn; ac a fynnaf wy-
bod, nid ymadrodd y rhai sy wedi chwyddo,
ond *eu* gallu.
20 Canys [b] nid mewn ymadrodd *y mae*
teyrnas Dduw; eithr mewn gallu.
21 Beth a fynnwch chwi? [c] ai dyfod o
honof fi attoch chwi â gwïalen, ynte mewn
cariad, ac yspryd addfwynder?

[t] 1 Thess. 2. 11.
[u] Act. 18. 11. Gal. 4. 19. Philem. 10. Iago 1. 18.
[x] Pen. 11. 1. 2 Thess. 3. 9.
[y] 1 Tim. 1. 2. 2 Tim. 1. 2.
[z] Act. 19. 21.
[a] Act. 18. 21. Rhuf. 15. 32.
[b] Pen. 2. 4. 1 Thess. 1. 5.
[c] 2 Cor. 10. 2. a 13. 10.

## PEN. V.

*1 Bod y gwr godinebus 6 yn achos o gywilydd iddynt, yn hytrach nag o orfoledd. 7 Rhaid yw ymlanhâu oddi wrth yr hen lefain. 10 Y dylid cilio oddi wrth anfad ddrwgweithredwŷr.*

MAE 'r gair yn hollol, *fod* yn eich plith 59.
chwi odineb, a chyfryw odineb ag na
enwir unwaith ym mysg y Cenhedloedd;
*sef* [a] cael o un wraig ei dad.
2 Ac yr ydych chwi wedi ymchwyddo,
ac ni alarasoch yn hytrach, fel y tynnid
o'ch mysg chwi y neb a wnaeth y weithred
hon.
3 Canys myfi yn ddïau, [b] fel absennol yn
y corph, etto yn bresennol yn yr yspryd, a
fernais eisoes, fel pe bawn bresennol, *am* yr
hwn a wnaeth y peth hwn felly:
4 Yn enw ein Harglwydd Iesu Grist, pan
ymgynhulloch ynghŷd, a'm hyspryd innau,
[c] gyd â gallu ein Harglwydd Iesu Grist,
5 [d] Draddodi y cyfryw un i Satan, i
ddinystr y cnawd, fel y byddo 'r yspryd yn
gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu.
6 [e] Nid da eich gorfoledd chwi. Oni
wyddoch chwi fod [f] ychydig lefain yn le-
feinio 'r holl does?
7 Am hynny certhwch allan yr hen lefain,
fel y byddoch does newydd, megis yr ydych
ddilefeinllyd. Canys [g] Crist ein pasg ni a
† aberthwyd drosom ni.
8 Am hynny [h] cadwn ‡ wyl, [i] nid â hen
lefain, nac â lefain malais a drygioni; ond â
*bara* croyw purdeb a gwirionedd.
9 Mi a 'sgrifenais attoch mewn llythyr,
[k] na chyd-ymgymmysgech â godinebwŷr.
10 Ac nid yn hollol â godinebwŷr y byd
hwn, neu â'r cybyddion, neu â'r cribddeil-
wŷr, neu ag eilun-addolwŷr; oblegid felly
rhaid fyddai i chwi fyned allan o'r byd.
11 Ond yn awr mi a 'sgrifenais attoch,
na chyd-ymgymmysgech: [l] os bydd neb
a enwir yn frawd yn odinebwr, neu yn
gybydd, neu yn eilun-addolwr, neu yn ddi-
fenwr, neu yn feddw, neu yn gribddeil-
iwr; gyd â'r cyfryw ddyn na chyd-fwytta
chwaith.
12 Canys beth sydd i mi a farnwyf [m] ar

[a] Lef. 18. 8. Deut. 27. 20.
[b] Col. 2. 5.
[c] Mat. 16. 19. a 18. 18. Ioan 20. 23.
[d] 1 Tim. 1. 20.
[e] Iago 4. 16.
[f] Gal. 5. 9.
[g] Esay 53. 7. Ioan 1. 29.
† Neu, *ladd wyd.*
[h] Exod. 12. 15.
‡ *yr ympryd.*
[i] Deut. 16. 3.
[k] 2 Cor. 6. 14. Eph. 5. 11. 2 Thess. 3. 14.
Adn. 2. 7.
[l] Mat. 18. 17. Rhuf. 16. 17. 2 Thess. 3. 14. 2 Ioan 10.
[m] Marc 4. 11. Col. 4. 5. 1 Thess. 4. 12. 1 Tim. 3. 7.

y rhai sy oddi allan? onid y rhai sy oddi
mewn yr ydych chwi yn eu barnu?
[n] Deut. 13. 13 Eithr y rhai sy oddi allan, Duw sy yn
5. a 17. 7. a eu barnu. [n] Bwriwch chwithau ymaith y
22. 21, 22, dyn drygionus hwnnw o'ch plith chwi.
24.

## PEN. VI.

1 *Na ddylai 'r Corinthiaid flino eu brodyr, trwy fyned i 'r gyfraith â hwynt; 6 yn enwedig ger bron y rhai digred. 9 Na chaiff y rhai anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw. 15 Bod ein cyrph ni yn aelodau i Grist, 19 ac yn demlau i 'r Yspryd Glân: 16, 17 ac am hynny na ddylid mo'u halogi.*

59. A Feiddiai neb o honoch, a chanddo fatter yn erbyn arall, ymgyfreithio o flaen
y rhai anghyfiawn, ac nid o flaen y saint?
[a] Psal. 49. 14. 2 Oni wyddoch chwi y barna [a] y saint y
Mat. 19. 28. byd? ac os trwoch chwi y bernir y byd, a
Luc 22. 30. ydych chwi yn anaddas i farnu'r pethau
Dat. 2. 26. lleiaf?
a 3. 21. a 20. 4. 3 Oni wyddoch chwi y barnwn ni angylion? pa faint mwy y pethau a berthyn i'r
bywyd hwn?
4 Gan hynny, od oes gennych farnedigaethau am bethau a berthyn i'r bywyd
hwn, dodwch ar y faingc y rhai gwaelaf yn
yr eglwys.
5 Er cywilydd i chwi yr ydwyf yn dywedyd. Felly, onid oes yn eich plith cymmaint ag un doeth, yr hwn a fedro farnu
[b] Diar. 20. 22. rhwng ei frodyr?
6 Ond bod brawd yn ymgyfreithio â
Mat. 5. 39, 40. brawd, a hynny ger bron y rhai digred.
Luc 6. 29. 7 Yr awrhon gan hynny y mae yn hollol
Rhuf. 12. 17, 19. ddiffyg yn eich plith, am eich bod yn ymgyfreithio â'ch gilydd. [b] Paham nad ydych
1 Thess. 5. 15. yn hytrach yn dioddef cam? paham nad
[c] 1 Thess. 4. 6. ydych yn hytrach mewn colled?
8 Eithr chwychwi sydd yn gwneuthur
[d] Pen. 15. 50. cam, a cholled, a hynny *i 'r* brodyr.
Gal. 5. 21. 9 Oni wyddoch chwi [c] na chaiff y rhai
Eph. 5. 5. anghyfiawn etifeddu teyrnas Dduw? Na
1 Tim. 1. 9. thwyller chwi: [d] ni chaiff na godinebwŷr,
Heb. 12. 14. nac eilun-addolwŷr, na thorwŷr prïodas, na
Dat. 22. 15. masweddwŷr, na gwrryw-gydwŷr,
[e] Eph. 2. 2. 10 Na lladron, na chybyddion, na meddwon, na difenwŷr, na chribddeilwŷr, etifeddu
Col. 3. 7. teyrnas Dduw.
Tit. 3. 3. 11 A [e] hyn fu rai o honoch chwi; [f] eithr
[f] Heb. 10. 12. chwi a olchwyd; eithr chwi a sancteiddiwyd; eithr chwi a gyfiawnhawyd, yn enw yr
[g] Pen. 10. 23. Arglwydd Iesu, a thrwy Yspryd ein Duw ni.
† *angenrhaid.* 12 [g] Pob peth sydd gyfreithlon i mi, ond
nid yw pob peth yn † llesâu; pob peth
[h] Mat. 15. 17. sydd gyfreithlon i mi, eithr ni'm dygir i
Rhuf. 14. 17. dan awdurdod gan ddim.
Col. 2. 22, 23. 13 [h] Y bwydydd i'r bol, a'r bol i'r bwydydd: eithr Duw a ddinystria hwn a hwy-
[i] Adn. 19, 20. thau. A'r corph nid *yw* i odineb, ond [i] i'r
1 Thess. 4. 3. Arglwydd; a'r Arglwydd i'r corph.
14 Eithr [k] Duw a gyfododd yr Arglwydd,
[k] Rhuf. 6. 5, 8. a 8. 11. ac a'n cyfyd ninnau trwy ei nerth ef.
2 Cor. 4. 14. 15 Oni wyddoch chwi fod [l] eich cyrph
yn aelodau i Grist? gan hynny a gymmeraf fi aelodau Crist, a'u gwneuthur yn
[l] Pen. 12. 27. aelodau puttain? Na atto Duw.
Eph. 4. 12, 15, 16. a 5. 30. 16 Oni wyddoch chwi fod yr hwn sydd
yn cydio â phuttain, yn un corph? canys
[m] y ddau (medd efe) fyddant un cnawd.
[m] Gen. 2. 24. 17 Ond yr hwn a gyssylltir â'r Arglwydd,
Mat. 19. 5. [n] un yspryd yw.
Eph. 5. 31. 18 Gochelwch odineb. Pob pechod a
[n] Ioan 17. 21, 22, 23. wnelo dyn, oddi allan i'w gorph y mae;
Eph. 4. 4. ond yr hwn sydd yn godinebu, sydd yn
a 5. 30. pechu yn erbyn ei gorph ei hun.

19 [o] Oni wyddoch chwi fod eich corph [o] Pen. 3. 16.
yn deml i'r Yspryd Glân, *sydd* ynoch, yr 2 Cor. 6.
hwn yr ydych yn ei gael gan Dduw, ac nad 16.
ydych yn eiddoch eich hunain? [p] Pen. 7. 23.
20 Canys [p] er gwerth y prynwyd chwi:
gan hynny gogoneddwch Dduw yn eich Heb. 9. 12. 1 Petr 1.
corph, ac yn eich yspryd, y rhai sydd eiddo 18.
Duw.

## PEN. VII.

1 *Y mae efe yn cynghori am brïodas; 4 ac yn dangos mai rhwymedi yw yn erbyn godineb: 10 ac na ddylid dattod y cwlwm hwnnw mewn ysgafnder. 18, 20 Rhaid i bob dyn fod yn foddlon i'w alwedigaeth. 25 Paham y dylid mawrhâu gwyryfdod: 35 ac ar ba achosion y gallwn ni brïodi, neu beidio â phrïodi.*

AC am y pethau yr ysgrifenasoch attaf: 59.
[a] Da i ddyn na chyffyrddai â gwraig. [a] Adn. 8, 26.
2 Ond *rhag* godineb, bydded i bob gwr
ei wraig ei hun, a bydded i bob gwraig ei
gwr ei hun.
3 [b] Rhodded y gwr i'r wraig ddyledus [b] Exod. 21. 10.
ewyllys da; a'r un wedd y wraig i'r gwr. 1 Petr 3. 7.
4 Nid oes i'r wraig feddiant ar ei chorph
ei hun, ond i'r gwr; ac yr un ffunud, nid
oes i'r gwr feddiant ar ei gorph ei hun, ond
i'r wraig.
5 [c] Na thwyllwch eich gilydd, oddi eithr [c] Joel 2. 16.
o gyd-syniad dros amser, fel y galloch ym- Edrych
rôi i ympryd a gweddi: a deuwch drachefn Exod. 19. 15.
ynghŷd, rhag temtio o Satan chwi o her-
wydd eich anlladrwydd. 1 Sam. 21. 4, 5.
6 A hyn yr wyf yn ei ddywedyd o ganiattâd, [d] nid o orchymyn. [d] Adn. 12.
2 Cor. 8. 8. a 11. 17.
7 Canys [e] mi a fynnwn fod pob dyn [f] fel
fi fy hun: eithr [g] y mae i bob un ei ddawn [e] Act. 26. 29.
ei hun gan Dduw; i un fel hyn, ac i arall
fel hyn. [f] Pen. 9. 5.
8 Dywedyd yr wyf wrth y rhai heb
brïodi, a'r gwragedd gweddwon, [h] Da yw [g] Mat. 19. 12.
iddynt os arhosant fel finnau. Pen. 12. 11.
9 Eithr [i] oni allant ymgadw, prïodant: [h] Adn. 1, 26.
canys gwell yw prïodi nag ymlosgi.
10 Ac i'r rhai a brïodwyd yr ydwyf yn [i] 1 Tim. 5. 14.
gorchymyn, [k] nid myfi *chwaith*, ond yr [k] Edrych
Arglwydd, [l] Nad ymadawo gwraig oddi adn. 12,
wrth *ei* gwr: 25, 40.
11 Ac os ymedy hi, arhoed heb brïodi, [l] Mal. 2. 14.
neu gymmoder hi â'i gwr: ac na ollynged y Mat. 5. 32.
gwr *ei* wraig ymaith. a 19. 6, 9.
12 Ac wrth y lleill, dywedyd yr wyf fi, Marc 10. 11, 12.
[m] nid yr Arglwydd, Os bydd i un brawd Luc 16. 18.
wraig ddigred, a hithau yn foddlon i drigo [m] Adn. 6.
gyd ag ef, na ollynged hi ymaith.
13 A'r wraig, yr hon y mae iddi wr digred, ac yntau yn foddlon i drigo gyd â hi,
na † wrthoded hi ef. † *adawed.*
14 Canys y gwr digred a sancteiddir trwy
y wraig, a'r wraig ddigred a sancteiddir trwy
y gwr. Pe amgen, aflan yn ddïau fyddai
eich plant; eithr yn awr sanctaidd ydynt.
15 Eithr os yr anghredadyn a ymedy,
ymadawed. Nid yw y brawd neu y chwaer
gaeth yn y cyfryw *bethau*: eithr Duw a'n
galwodd ni ‡ i heddwch. ‡ Gr. *mewn heddwch.*
16 Canys beth a wyddost ti, wraig, [n] a
gedwi di *dy* wr? a pheth a wyddost tithau, [n] 1 Petr 3. 1.
wr, a gedwi di *dy* wraig?
17 Ond megis y darfu i Dduw rannu i
bob un, megis y darfu i'r Arglwydd alw
pob un, felly rhodied. Ac fel hyn yr wyf
yn ordeinio yn yr eglwysi oll.
18 A alwyd neb wedi ei enwaedu? [o] nac [o] 1 Mac. 1. 15.
adgeisied *ddienwaediad*. A alwyd neb mewn
dïenwaediad? nac enwaeder arno.

19 [p] Enwaediad nid yw ddim, a dïen-
waediad nid yw ddim, ond cadw gorchymyn-
ion Duw.
20 Pob un yn yr alwedigaeth y galwyd
ef, yn honno arhosed.
21 Ai yn was y'th alwyd? na fydded
gwaeth gennyt; etto os gelli gael bod yn
rhŷdd, mwynhâ *hynny* yn hytrach.
22 Canys yr hwn ac ef yn was, a alwyd
yn yr Arglwydd, gwr rhŷdd [q] i'r Arglwydd
ydyw: a'r un ffunud yr hwn, ac efe yn wr
rhŷdd, a alwyd, gwas i [r] Grist yw.
23 [s] Er gwerth y'ch prynwyd; na fydd-
wch weision dynion.
24 Yn yr hyn y galwyd pob un, frodyr,
yn hynny arhosed gyd â Duw.
25 Eithr am wŷryfon, [t] nid oes gennyf
orchymyn yr Arglwydd: ond barn yr ydwyf
yn ei roi, fel un a gafodd drugaredd gan yr
Arglwydd i fod yn ffyddlon.
26 Am hynny yr wyf yn tybied mai da yw
hyn, o herwydd yr anghenrhaid presennol,
[u] mai da, *meddaf,* i ddyn fod felly.
27 A wyt ti yn rhwym i wraig? na chais
dy ollwng yn rhŷdd. A wyt ti yn rhŷdd
oddi wrth wraig? na chais wraig.
28 Ac os prïodi hefyd, ni phechaist: ac
os prïoda gwŷryf, ni phechodd: er hynny y
cyfryw rai a gânt flinder yn y cnawd: eithr
yr wyf yn eich arbed chwi.
29 A [x] hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd,
frodyr, am fod yr amser yn fyr. Y mae yn
ol, fod o'r rhai sy â gwragedd iddynt, megis
pe byddent hebddynt;
30 A'r rhai a wylant, megis heb wylo;
a'r rhai a lawenhânt, megis heb lawenhâu;
a'r rhai a brynant, megis heb feddu;
31 A'r rhai a arferant y byd hwn, megis
heb ei gam-arfer. Canys [y] y mae dull y byd
hwn yn myned heibio.
32 Eithr mi a fynnwn i chwi fod yn
ddïofal. [z] Yr hwn sydd heb brïodi, sydd
yn gofalu am bethau † 'r Arglwydd, pa
wedd y boddlona'r Arglwydd:
33 Ond y neb a wreiccaodd, sydd yn
gofalu am bethau'r byd, pa wedd y bodd-
lona *ei* wraig.
34 Y mae gwahaniaeth hefyd rhwng
gwraig a ‡ gwŷryf. Y mae yr hon sydd heb
brïodi, [a] yn gofalu am y pethau sydd yn per-
thyn i'r Arglwydd, fel y byddo hi sanctaidd
ynghorph ac yspryd: ac y mae yr hon sydd
wedi prïodi, yn gofalu am bethau bydol, pa
fodd y rhynga hi fodd i'*w* gwr.
35 A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd er
llesâd i chwi eich hunain; nid i osod magl i
chwi, eithr er mwyn gweddeidd-dra, a dy-
fal lynu wrth yr Arglwydd yn ddïwahan.
36 Ond os yw neb yn tybied ei fod yn
anweddaidd tu ag at ei ‖ wŷryf, od â hi dros
flodeu *ei* hoedran, a bod yn rhaid gwneuthur
felly; gwnaed a fynno, nid yw yn pechu:
prïodant.
37 Ond yr hwn sydd yn sefyll yn sicr yn
ei galon, ac yn afraid iddo, ac â meddiant
ganddo ar ei ewyllys ei hun, ac a roddodd
ei fryd ar hynny yn ei galon, ar gadw o
hono ei wŷryf; da y mae yn gwneuthur.
38 Ac am hynny, yr hwn sydd yn *ei*
rhoddi yn brïod, sydd yn gwneuthur yn
dda; ond yr hwn nid yw yn *ei* rhoddi yn
brïod, sydd yn gwneuthur yn well.
39 [b] Y mae gwraig yn rhwym wrth y gy-
fraith, tra fyddo byw ei gwr: ond o bydd
marw ei gwr, y mae hi yn rhŷdd i brïodi y
neb a fynno; yn unig yn yr Arglwydd.

[p] Gal. 5. 6. a 6. 15. [q] Ioan 8. 36. Rhuf. 6. 18, 22. [r] Pen. 9. 21. Gal. 5. 13. Eph. 6. 6. 1 Petr 2. 16. [s] Pen. 6. 20. 1 Petr 1. 18, 19. [t] Adn. 6, 10, 40. 2 Cor. 8. 8, 10. [u] Adn. 1, 8. [x] Rhuf. 13. 11. 1 Petr 4. 7. 2 Petr 3. 8, 9. [y] Psal. 39. 6. 1 Ioan 2. 17. [z] 1 Tim. 5. 5. † *sy'n perthyn i'r Arglwydd.* ‡ *morwyn ieuangc.* [a] Luc 10. 40, &c. [b] Rhuf. 7. 2.

40 Eithr dedwyddach yw hi os erys hi
felly, [c] yn fy marn i: ac [d] yr ydwyf finnau
yn tybied fod Yspryd Duw gennyf.

## PEN. VIII.

1 *Bod iddynt ymgadw oddi wrth y bwydydd a offrymmer i eilunod.* 8, 9 *Na ddylem ni gam-arferu ein rhyddid Cristianogaidd, i rwystro ein brodyr:* 11 *eithr ffrwyno ein gwybodaeth â chariad perffaith.*

EITHR [a] am yr hyn a aberthwyd i eilun- 59.
od, ni a wyddom fod gan bawb o ho-
nom [b] wybodaeth. [c] Gwybodaeth sydd yn
chwyddo, eithr cariad sydd yn adeiladu.
2 Eithr [d] os yw neb yn tybied ei fod yn
gwybod dim, ni ŵyr efe etto ddim fel y
dylai wybod.
3 Ond od oes neb yn caru Duw, hwnnw
a [e] adwaenir ganddo ef.
4 Am fwytta gan hynny o'r pethau a
aberthir i eilunod, ni a wyddom nad *yw*
† eilun ddim yn y byd, ac nad *oes* un Duw
arall ond un.
5 Canys er bod rhai a elwir yn dduwiau,
pa un bynnag ai yn y nef ai ar y ddaear,
(megis y mae duwiau lawer, ac arglwyddi
lawer)
6 Eithr [f] i ni *nid oes ond* un Duw, y Tad,
[g] o'r hwn *y mae* pob peth, a ninnau ‡ ynddo
ef; ac [h] un Arglwydd Iesu Grist, [i] trwy yr
hwn *y mae* pob peth, a ninnau trwyddo ef.
7 Ond nid *yw* yr wybodaeth *hon* gan
bawb: § canys rhai [k] â chanddynt gyd-
wybod o'r eilun, hyd y pryd hyn, sydd yn
bwytta fel peth a aberthwyd i eilunod; a'u
cydwybod hwy, a hi yn wan, [l] a halogir.
8 Eithr [m] nid yw bwyd yn ein gwneuthur
ni yn gymmeradwy gan Dduw: canys nid
ydym, os bwyttâwn, yn ‖ helaethach; nac
oni's bwyttâwn, yn † brinnach.
9 Ond [n] edrychwch rhag mewn un modd
i'ch ‡ rhyddid hwn fod [o] yn dramgwydd i'r
rhai sy weiniaid.
10 Canys os gwel neb dydi sydd â gwy-
bodaeth gennyt, yn eistedd i fwytta yn
nheml yr eilunod, oni chadarnheir ei gyd-
wybod ef, ac yntau yn wan, i fwytta'r pe-
thau a aberthwyd i eilunod;
11 Ac a ddifethir y brawd gwan [p] trwy dy
wybodaeth di, dros yr hwn y bu Grist farw?
12 A chan bechu felly yn erbyn y brodyr,
a churo eu gwan gydwybod hwy, yr ydych
chwi yn pechu yn erbyn Crist.
13 O herwydd paham, [q] os yw bwyd yn
rhwystro fy mrawd, ni fwyttâf fi gig fyth,
rhag i mi rwystro fy mrawd.

## PEN. IX.

1 *Y mae efe yn dangos ei ryddid;* 7 *ac y dylai y gweinidog fyw wrth yr efengyl:* 15 *etto ddarfod iddo ef o'i wirfodd ymgadw,* 18 *rhag na'u gyrru hwy mewn traul,* 22 *na bod yn achos o rwystr i neb, mewn pethau cyffredin.* 21 *Bod ein bywyd ni yn debyg i yrfa.*

ONID wyf fi yn apostol? onid wyf fi 59.
yn rhŷdd? [a] oni welais i Iesu Grist
ein Harglwydd? [b] onid fy ngwaith i ydych
chwi yn yr Arglwydd?
2 Onid wyf yn apostol i eraill, etto yr
wyf i chwi: canys [c] sel fy apostoliaeth i
ydych chwi yn yr Arglwydd.
3 Fy ymddiffyn i, i'r rhai a'm holant,
yw hyn;
4 [d] Onid oes i ni awdurdod i fwytta ac i
yfed?

[c] Adn. 25. [d] 1 Thes. 4. 8. [a] Act. 15. 20, 29. Pen. 10. 19. [b] Rhuf. 14. 14, 22. [c] Rhuf. 14. 3, 10. [d] Gal. 6. 3. 1 Tim. 6. 4. [e] Gal. 4. 9. † Esay 41. 24. Pen. 10. 19. [f] Mal. 2. 10. Eph. 4. 6. [g] Act. 17. 28. Rhuf. 11. 36. ‡ *iddo ef.* [h] Ioan 13. 13. Pen. 12. 3. Eph. 4. 5. Phil. 2. 11. [i] Ioan 1. 3. Col. 1. 16. Heb. 1. 2. § *ond.* [k] Pen. 10. 28. [l] Rhuf. 14. 14, 23. [m] Rhuf. 14. 17. ‖ *well.* † *waeth.* [n] Gal. 5. 15. ‡ *gallu.* [o] Rhuf. 14. 13, 20. [p] Rhuf. 14. 15, 20. [q] Rhuf. 14. 21. 2 Cor. 11. 29. [a] Act. 9. 3, 17. a 22. 14, 18. a 23. 11. Pen. 15. 8. [b] Pen. 4. 15. [c] 2 Cor. 3. 2. a 12. 12. [d] Adn. 14. 1 Thes. 2. 6.

5 Onid oes i ni awdurdod i arwain o am-
gylch wraig a *fyddai* chwaer, megis ag y mae
i'r apostolion eraill, ac e i frodyr yr Argl-
wydd, ac f i Cephas?
6 Ai myfi yn unig a Barnabas, g nid oes
gennym awdurdod i fod heb weithio?
7 Pwy sydd un amser h yn rhyfela ar ei
draul ei hun? pwy sydd i yn plannu gwin-
llan, ac nid yw yn bwytta o'i ffrwyth hi?
neu pwy sydd k yn porthi praidd, ac nid yw
yn bwytta o laeth y praidd?
8 Ai yn ol dyn yr wyf fi yn dywedyd y
pethau hyn? neu onid yw y ddeddf hefyd
yn dywedyd hyn?
9 Canys ysgrifenedig yw yn neddf Moses,
l Na chae safn yr ych sydd yn dyrnu. Ai
dros ychen y mae Duw yn gofalu?
10 Ynte er ein mwyn ni yn hollol y
mae yn dywedyd? canys er ein mwyn
ni yr ysgrifenwyd, mai m mewn gobaith
y dylai'r arddwr aredig, a'r dyrnwr
mewn gobaith, i fod yn gyfrannog o'i
obaith.
11 n Os nyni a hauasom i chwi bethau
ysprydol, ai mawr *yw* os nyni a fedwn
eich pethau cnawdol?
12 Os yw eraill yn gyfrannogion o'r
awdurdod hon arnoch, onid *ydym* ni yn
hytrach? o Eithr nid arferasom ni yr aw-
durdod hon: ond goddef yr ydym bob
peth, p fel na roddom ddim rhwystr i
efengyl Grist.
13 q Oni wyddoch chwi fod y rhai sy yn
gwneuthur pethau cyssegredig, yn bwytta
o'r cyssegr? a'r rhai sy yn gwasanaethu'r
allor, yn gyd-gyfrannogion o'r allor?
14 Felly hefyd r yr ordeiniodd yr Ar-
glwydd, s i'r rhai sy'n pregethu'r efengyl,
fyw wrth yr efengyl.
15 Eithr t myfi nid arferais yr un o'r
pethau hyn: ac nid ysgrifenais y pethau
hyn, fel y gwnelid felly i mi: canys u gwell
*yw* i mi farw, nâ gwneuthur o neb fy
ngorfoledd yn ofer.
16 Canys os pregethaf yr efengyl, nid oes
orfoledd i mi: canys x anghenraid a osod-
wyd arnaf; a gwae fydd i mi, oni phrege-
thaf yr efengyl.
17 Canys os gwnaf hyn o'm bodd, y mae
i mi wobr: ond os o'm hanfodd, y ymddir-
iedwyd i mi am y gorchwyl.
18 Pa wobr sydd i mi gan hynny? Bod i
mi, pan efengylwyf, osod efengyl Grist yn
rhad, fel na cham-arferwyf fy awdurdod yn
yr efengyl.
19 Canys er fy mod yn rhydd oddi wrth
bawb, mi a'm gwneuthum fy hun yn was
i bawb, z fel yr ynnillwn fwy.
20 Ac a mi a ymwneuthum i'r Iuddew-
on megis yn Iuddew, fel yr ynnillwn yr
Iuddewon; i'r rhai dan y ddeddf, megis
dan y ddeddf, fel yr ynnillwn y rhai sy dan
y ddeddf,
21 b I'r c rhai diddeddf, megis diddeddf
(d a minnau heb fod yn ddiddeddf i Dduw,
ond dan y ddeddf i Grist) fel yr ynnillwn y
rhai diddeddf.
22 e Ymwneuthum i'r rhai gweiniaid
megis yn wan, fel yr ynnillwn y gweiniaid:
f mi a ymwneuthum yn bob peth i bawb,
g fel y gallwn yn hollol gadw rhai.
23 A hyn yr wyf fi yn ei wneuthur er
mwyn yr efengyl, fel y'm gwneler yn gyd-
gyfrannog o honi.
24 Oni wyddoch chwi fod y rhai sy yn
rhedeg mewn gyrfa, i gŷd yn rhedeg, ond

e Gal. 1. 19. f Mat. 8. 14. g 2 Thes. 3. 9. Act. 14. h 2 Cor. 10. 4. i Diar. 27. 18. Pen. 3. 6, 7, 8. k Ioan 21. 15. 1 Petr 5. 2. l Deut. 25. 4. m 2 Tim. 2. 6. n Rhuf. 15. 27. Gal. 6. 6. o Adn. 15. 2 Cor. 11. 9. a 12. 13. p 2 Cor. 11. 12. q Num. 18. 8, 20. r Mat. 10. 10. Luc 10. 7. s Gal. 6. 6. 1 Tim. 5. 17. t Act. 18. 3. a 20. 34. Pen. 4. 12. 1 Thes. 2. 9. 2 Thes. 3. 8. u 2 Cor. 11. 10. x Rhuf. 1. 14. y Pen. 4. 1. z ... 12. a ... b ... c Rhuf. 2. 12, 14. d Pen. 7. 22. e Rhuf. 15. 1. 2 Cor. 11. 29. f Pen. 10. 33. g Rhuf. 11. 14. Pen. 7. 16.

bod un yn derbyn y gamp? h felly rhedwch,
fel y caffoch afael.
25 Ac y mae pob un a'r sydd i yn
ymdrechu, yn ymgadw ym mhob peth:
a hwynt-hwy yn wir, fel y derbyniont
goron lygredig; eithr nyni, k un anllygre-
dig.
26 Yr wyf fi gan hynny felly yn rhedeg,
nid megis ar amcan; felly yr wyf yn ym-
drechu, nid fel un yn curo yr awyr.
27 l Ond yr wyf fi yn cospi fy nghorph,
ac m yn ei ddwyn yn gaeth, rhag i mi
mewn un modd, wedi i mi bregethu i eraill,
fod fy hun yn anghymmeradwy.

h Gal. 5. 7. Phil. 3. 14. 2 Tim. 4. 7. Heb. 12. 1. i Eph. 6. 12. 1 Tim. 6. 12. 2 Tim. 2. 5. a 4. 7. k 2 Tim. 4. 8. Iago 1. 12. 1 Petr 5. 4. Dan. 2. 10. a 3. 11. l Rhuf. 8. 13. Col. 3. 5. m Rhuf. 6. 18, 19.

## PEN. X.

1 *Bod sacramentau'r Iuddewon 6 yn gysg-
odau i ni, 7 a'u cospedigaethau hwy 11 yn
siamplau i ni. 14 Rhaid i ni ochelyd gau-
dduwiaeth. 21 Na ddylem ni wneuthur
bwrdd yr Arglwydd yn fwrdd cythreul-
iaid: 24 ac y dylem, mewn pethau cyffre-
din, ystyried ein brodyr.*

AC ni fynnwn i chwi fod heb wybod, 59.
frodyr, fod ein tadau a oll dan y cwm-
mwl, a'u myned b oll trwy'r môr;
2 A'u bedyddio *hwy* oll i Moses, yn y
cwmmwl, ac yn y môr;
3 A bwytta o bawb *o honynt* yr un bwyd
c ysprydol;
4 Ac yfed o bawb *o honynt* yr un ddiod
d ysprydol: (canys hwy a yfasant o'r Graig
ysprydol a † oedd yn canlyn: a'r Graig
oedd Crist.)
5 Eithr ni bu Dduw foddlon ‡ i'r rhan
fwyaf o honynt: canys e cwympwyd hwynt
yn y diffaethwch.
6 A'r pethau hyn a wnaed yn siamplau
i ni, fel na chwennychem ddrygioni, megis
ag f y chwennychasant hwy.
7 Ac na fyddwch eilun-addolwŷr, megis
rhai o honynt hwy; fel y mae yn ysgrifen-
edig, g Eisteddodd y bobl i fwytta ac i yfed,
ac a gyfodasant i chwareu.
8 Ac na odinebwn, fel y godinebodd
h rhai o honynt hwy, ac y syrthiodd mewn
un dydd dair mil ar hugain.
9 Ac na themtiwn Grist, megis ag y tem-
tiodd i rhai o honynt hwy, ac a'u k distrywi-
wyd gan seirph.
10 Ac na rwgnechwch, megis y grwg-
nachodd l rhai o honynt hwy, ac a'u m dis
trywiwyd gan y dinystrydd.
11 A'r pethau hyn oll a ddigwyddasant
yn siamplau iddynt hwy, ac n a 'sgrifenwyd
yn rhybudd i ninnau, o ar y rhai y daeth
terfynau yr oesoedd.
12 Am hynny, p yr hwn sydd yn tybied
ei fod yn sefyll, edrycbed na syrthio.
13 Nid ymaflodd ynoch demtasiwn, ond
un dynol: eithr q ffyddlon *yw* Duw, r yr
hwn ni ad eich temtio uwch law yr hyn a
alloch; eithr s a wna ynghŷd â'r temtasiwn
ddiangfa hefyd, fel y galloch ei ddwyn.
14 O herwydd paham, fy anwylyd,
t ffowch oddi wrth eilun-addoliaeth.
15 Dywedyd yr wyf fel wrth rai syn-
hwyrol: bernwch chwi beth yr wyf fi yn ei
ddywedyd.
16 u Phiol y fendith yr hon a fendigwn,
onid cymmun gwaed Crist ydyw? y bara
yr ydym yn ei dorri, onid cymmun corph
Crist yw?

a Exod. 13. 21. Num. 9. 18. Deut. 1. 33. Neh. 9. 12, 19. Psal. 78. 14. b Exod. 14. 21, 22. Jos. 4. 23. c Exod. 16. 15. d Exod. 17. 6. Num. 20. 11. † *neu* *aeth gyd â hwynt.* Deut. 9. 21. Psal. 105. 41. ‡ *i lawer.* e Num. 26. 64, 65. f Num. 11. 4, 33. Psal. 106. 14. g Exod. 32. 6. h Num. 25. 1, 2, 9. i Exod. 17. 2, 7. Num. 21. 5. Psal. 78. 18, 56. a 95. 9. k Num. 21. 6. l Num. 14. 2, 29. a 16. 41, 49. m Num. 14. 37. n Rhuf. 15. 4. Pen. 9. 10. o Phil. 4. 5. Heb. 10. 25. p Rhuf. 11. 20. q Pen. 1. 9.

r Psal. 125. 3. 2 Petr 2. 9. s Jer. 29. 11. t 2 Cor. 6. 17. 1 Ioan 5. 21. u Mat. 26. 26.

[x] Rhuf. 12. 5. Pen. 12. 27. 17 Oblegid [x] nyni yn llawer ydym un ba-
ra, ac un corph: canys yr ydym ni oll yn
[y] Rhuf. 4. 12. gyfrannogion o'r un bara.
Gal. 6. 16. 18 Edrychwch ar [y] yr Israel yn ol y
[z] Lef. 3. 3. a 7. 15. cnawd: [z] onid yw y rhai sy yn bwytta'r
ebyrth, yn gyfrannogion o'r allor?
19 Beth gan hynny yr ydwyf yn ei ddy-
[a] Pen. 8. 4. wedyd? [a] bod yr eilun yn ddim, neu'r hyn
a aberthwyd i eilun yn ddim?
20 Ond y pethau y mae'r Cenhedloedd
[b] Lef. 17. 7. yn eu [b] haberthu, i gythreuliaid y maent yn
eu haberthu, ac nid i Dduw. Ni fynnwn i
chwi fod yn gyfrannogion â'r cythreuliaid.
[c] 2 Cor. 6. 15. 21 [c] Ni ellwch yfed o phïol yr Arglwydd,
a [d] phïol y cythreuliaid. Ni ellwch fod yn
[d] Deut. 32. 38. gyfrannogion o fwrdd yr Arglwydd, a bord
y cythreuliaid.
[e] Deut. 32. 21. 22 Ai [e] gyrru'r Arglwydd i eiddigedd yr
ydym? [f] a ydym ni yn gryfach nag ef?
[f] Ezec. 22. 14. 23 [g] Pob peth sydd gyfreithlon i mi, eithr
nid yw pob peth yn llesâu: pob peth sydd
[g] Pen. 6. 12. gyfreithlon i mi, eithr nid yw pob peth yn
adeiladu.
[h] Rhuf. 15. 1, 2. 24 [h] Na cheisied neb yr eiddo ei hun;
Pen. 13. 5. ond pob un † yr eiddo arall.
Phil. 2. 4, 21. 25 Beth bynnag a werthir yn y gigfa,
bwyttêwch; heb ofyn dim er mwyn cydwy-
† *fudd.* bod.
[i] Exod. 19. 5. 26 Canys [i] eiddo'r Arglwydd y ddaear,
Deut. 10. 14. a'i chyflawnder.
Psal. 24. 1. a 50. 12. 27 Os bydd i neb o'r rhai digred eich
gwahodd, ac os mynnwch fyned; [k] bwyt-
Adn. 28. têwch beth bynnag a rodder ger eich bron,
[k] Luc 10. 7. heb ymofyn dim er mwyn cydwybod.
28 Eithr os dywaid neb wrthych, Peth
wedi ei aberthu i eilunod yw hwn; na
[l] Pen. 8. 10, 12. fwyttêwch [l] er mwyn hwnnw yr hwn a'i
[m] Adn. 26. mynegodd, ac er mwyn cydwybod: [m] canys
eiddo'r Arglwydd y ddaear, a'i chyflawn-
der.
29 Cydwybod, meddaf, nid yr eiddot ti,
[n] Rhuf. 14. 16. ond yr eiddo arall: canys [n] paham y bernir
fy rhyddid i gan gydwybod un arall?
‡ *ddiolch.* 30 Ac os wyf fi trwy ‡ ras yn cymmeryd
[o] 1 Tim. 4. 3, 4. cyfran, paham y'm ceblir [o] am y peth yr
wyf yn rhoddi diolch am dano?
[p] Col. 3. 17. 31 [p] Pa un bynnag gan hynny ai bwytta
ai yfed, ai beth bynnag a wneloch, gwnewch
bob peth er gogoniant i Dduw.
[q] Rhuf. 14. 13. 32 [q] Byddwch ddïachos tramgwydd i'r
2 Cor. 6. 3. Iuddewon ac i'r § Cenhedloedd hefyd, ac i
§ Gr. *Groegiaid.* eglwys Dduw:
33 Megis [r] yr ydwyf finnau yn rhyngu
[r] Rhuf. 15. 2. bodd i bawb ym mhob peth; heb geisio fy
llesâd fy hun, ond *llesâd* llaweroedd, fel y
Pen. 9. 19, 22. byddont hwy gadwedig.

## PEN. XI.

1 *Y mae efe yn eu ceryddu hwy,* 4 *am fod eu gwŷr yn y cynnulleidfaoedd sanctaidd yn gweddïo â pheth am eu pennau,* 6 *a'u gwragedd yn ben-noethion:* 17 *ac o ran eu bod hwy yn gyffredinol yn cyfarfod, nid i'r gwell ond i'r gwaeth;* 21 *gan halogi swpper yr Arglwydd â'u gwleddoedd eu hunain.* 23 *Yn ddiweddaf, y mae efe yn eu galw hwy yn eu hol, at ordinhâd cyntaf y swpper hwnnw.*

59. [a] BYDDWCH ddilynwŷr i mi, megis *yr*
[a] Pen. 4. 16. *wyf* finnau i Grist.
Eph. 5. 1. 2 Yr ydwyf yn eich canmol, frodyr, eich
Phil. 3. 17. bod yn fy nghofio i ym mhob peth, ac yn
1 Thes. 2. 6. dal y traddodiadau, fel y traddodais i chwi.
2 Thes. 3. 9. 3 Eithr mi a fynnwn i chwi wybod, mai
[b] pen pob gwr yw Crist; a phen y wraig
[b] Eph. 5. 23. yw'r gwr; a [c] phen Crist *yw* Duw.
[c] Ioan 14. 28. Pen. 3. 23. a 15. 27, 28. Phil. 2. 7, 8, 9.

4 Pob gwr yn gweddïo, neu yn pro-
phwydo, â pheth am ei ben, sydd yn cywi-
lyddïo ei ben.
5 Eithr pob gwraig yn gweddïo, neu yn
prophwydo, yn bennoeth, sydd yn cywi-
lyddio ei phen: canys yr un yw a phe bydd-
dai wedi ei heillio.
6 Canys os y wraig ni wisg *am ei phen,*
cneifier hi hefyd: eithr os [d] brwnt i wraig ei [d] Num. 5. 18.
chneifio, neu ei heillio, gwisged. Deut. 22. 5.
7 Canys gwr yn wir ni ddylai wisgo *am ei*
ben, am [e] ei fod yn ddelw a gogoniant Duw: [e] Gen. 1. 26, 27.
a'r wraig yw gogoniant y gwr.
8 Canys [f] nid yw y gwr o'r wraig; ond y [f] Gen. 2. 22.
wraig o'r gwr.
9 Ac [g] ni chrewyd y gwr er mwyn y [g] Gen. 2. 18, 21, 23.
wraig; eithr y wraig er mwyn y gwr.
10 Am hynny y dylai y wraig fod gan-
ddi † awdurdod ar *ei* phen, o herwydd yr † Hynny yw, *gorchudd,* yn
angylion. *arwydd ei*
11 Er hynny nid *yw* na'r gwr heb y *bod dan*
wraig, na'r wraig heb y gwr, yn yr Ar- *awdurdod*
glwydd. *ei gwr.*
12 Canys yr un wedd ag *y mae* y wraig o'r
gwr, felly *y mae* y gwr trwy'r wraig: a phob
peth *sydd* o Dduw.
13 Bernwch ynoch eich hunain, ai hardd
yw i wraig weddïo Duw yn bennoeth?
14 Onid yw naturiaeth ei hun yn eich
dysgu chwi, os gwallt-laes a fydd gwr, mai
ammharch yw iddo?
15 Eithr os gwraig a fydd gwallt-laes,
clod yw iddi: oblegid ei llaes-wallt a ddod-
wyd yn orchudd iddi.
16 Od [h] oes neb a fyn fod yn ymrysongar, [h] 1 Tim. 6. 4.
nid oes gennym ni gyfryw ddefod, [i] na
chan eglwysi Duw. [i] Pen. 7. 17. a 14. 33.
17 Eithr wrth ‡ ddywedyd hyn, nid yd-
wyf yn *eich* canmol, eich bod yn dyfod yn- ‡ *orchymyn.*
ghyd, nid er gwell, ond er gwaeth.
18 Canys yn gyntaf, pan ddeloch ynghyd [k] Pen. 1.
yn yr eglwys, [k] yr ydwyf yn clywed fod 10, 11, 12.
§ ammrafaelion yn eich mysg chwi; ac o ran § *sismau.*
yr wyf fi yn credu.
19 Canys [l] rhaid yw bod hefyd heresiau [l] Mat. 18. 7.
yn eich mysg, [m] fel y byddo y rhai cym- Luc 17. 1.
meradwy yn eglur yn eich plith chwi. [m] Luc 2. 35.
20 Pan fyddoch chwi gan hynny yn dy- 1 Ioan 2. 19.
fod ynghŷd i'r un lle, ‖ nid bwytta swpper Edrych
yr Arglwydd ydyw *hyn.* Deut. 13. 3.
21 Canys y mae pob un wrth fwytta, yn Act. 20. 30.
cymmeryd ei swpper ei hun o'r blaen; ac un ‖ *ni ellwch*
sydd â newyn arno, ac arall sydd yn feddw. *fwytta*
22 Onid oes gennych dai i fwytta ac i *swpper yr*
yfed? ai dirmygu yr ydych chwi eglwys *Arglwydd.*
Dduw, a [n] gwaradwyddo y rhai † nid oes [n] Iago 2. 6.
ganddynt? Pa beth a ddywedaf wrthych? a † *ydynt*
ganmolaf fi chwi yn hyn? Nid wyf yn *eich* *dlodion?*
canmol.
23 Canys [o] myfi a dderbyniais gan yr Ar- [o] Pen. 15. 3.
glwydd yr hyn hefyd a draddodais i chwi;
[p] Bod i'r Arglwydd Iesu, y nos y bradych- [p] Mat. 26. 26.
wyd ef, gymmeryd bara: Marc 14. 22.
24 Ac wedi iddo ddïolch, efe a'i torrodd, Luc 22. 19.
ac a ddywedodd, Cymmerwch, bwyttêwch;
hwn yw fy nghorph, yr hwn a dorrir tros-
och: gwnewch hyn er coffa am danaf.
25 Yr un modd *efe a gymmerodd* y cwppan,
wedi swpperu, gan ddywedyd, Y cwppan
hwn yw'r testament newydd yn fy ngwaed:
gwnewch hyn, cynnifer gwaith bynnag yr
yfoch, er coffa am danaf.
26 Canys cynnifer gwaith bynnag y bwyt-
taoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwppan
hwn, y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd [q] Ioan 14. 3.
[q] oni ddelo. Act 1. 11.

27 [r] Am hynny, pwy bynnag a fwyttao'r bara hwn, neu a yfo gwppan yr Arglwydd yn annheilwng, euog fydd o gorph a gwaed yr Arglwydd.

28 Eithr [s] holed dyn ef ei hun; ac felly bwyttaed o'r bara, ac yfed o'r cwppan.

29 Canys yr hwn sydd yn bwytta ac yn yfed yn annheilwng, sydd yn bwytta ac yn yfed barnedigaeth iddo ei hun, am nad yw yn iawn-farnu corph yr Arglwydd.

30 Oblegid hyn y *mae* llawer yn weiniaid ac yn llesg yn eich mysg, a llawer yn huno.

31 Canys [t] pe iawn-farnem ni ein hunain, ni'n bernid.

32 Eithr pan y'n bernir, [u] y'n ceryddir gan yr Arglwydd, fel na'n damner gyd â'r byd.

33 Am hynny, fy mrodyr, pan ddeloch ynghŷd i fwytta, arhoswch eich gilydd.

34 Eithr os bydd newyn ar neb, bwyttaed gartref; fel na ddeloch ynghŷd i farnedigaeth. Ond y pethau eraill mi a'u trefnaf pan ddelwyf.

r Num. 9. 10, 14. Ioan 6. 51, 63, 64. a 14. 27. Pen. 10. 21.
s 2 Cor. 13. 5. Gal. 6. 4.
t Psal. 32. 5.
u Psal. 94. 12, 13. Heb. 12. 5, 10.

## PEN. XII.

1 *Bod amryw ddoniau ysprydol,* 7 *eithr y cwbl er llesâd;* 8 *ac o ran hynny hwy a gyfrennir mewn amryw foddion.* 12 *Megis y mae aelodau'r corph naturiol yn gwasanaethu bob un,* 16 *er harddwch i'w gilydd,* 22 *er gwasanaeth* 26 *a chymmorth i'r un corph:* 27 *felly yr un modd y dylem ni wneuthur y naill er y llall, er mwyn gorphen dirgel gorph Crist.*

59. EITHR am ysprydol *ddoniau*, frodyr, ni fynnwn i chwi fod heb wybod.

2 Chwi a wyddoch [a] mai Cenhedloedd oeddych, yn eich arwain ymaith at yr eilunod mudion, fel y'ch tywysid.

3 Am hynny yr wyf yn hyspysu i chwi, [b] nad oes neb yn llefaru trwy Yspryd Duw, yn galw yr Iesu yn † ysgymmunbeth: ac [c] ni all neb ddywedyd ‡ yr Arglwydd Iesu, eithr trwy yr Yspryd Glân.

4 Ac [d] y mae amryw ddoniau, eithr [e] yr un Yspryd.

5 Ac [f] y mae amryw weinidogaethau, eithr yr un Arglwydd.

6 Ac y mae amryw weithrediadau, ond yr un § yw Duw, [g] yr hwn sydd yn gweithredu pob peth ym mhawb.

7 Eithr eglurhâd yr Yspryd a roddir i bob un er llesâd.

8 Canys i un, trwy yr Yspryd, y rhoddir ymadrodd doethineb; ac i arall, ymadrodd gwybodaeth, trwy'r un Yspryd;

9 Ac i arall [h] ffydd, trwy'r un Yspryd; ac i arall [i] ‖ ddawn i iachâu, trwy'r un Yspryd;

10 Ac i arall, wneuthur gwŷrthiau; ac i arall, brophwydoliaeth; ac i arall, wahaniaeth ysprydoedd; ac i arall, [k] *amryw* dafodau; ac i arall, gyfieithiad tafodau.

11 A'r holl bethau hyn y mae'r un a'r unrhyw Yspryd yn eu gweithredu, [l] gan rannu i bob un o'r neilldu [m] megis y mae yn ewyllysio.

12 Canys [n] fel y mae'r corph yn un, ac iddo aelodau lawer, a holl aelodau'r un corph, cyd byddont lawer, ydynt un corph; felly *y mae* [o] Crist hefyd.

13 O herwydd [p] trwy un Yspryd y bedyddiwyd ni oll yn un corph, [q] pa un bynnag ai Iuddewon ai † Groegwŷr, ai caethion ai rhyddion; ac [r] ni a ddiodwyd oll i un Yspryd.

a Eph. 2. 11, 12. 1 Thess. 1. 9.
b Marc 9. 39. 1 Ioan 4. 2, 3.
† *anathema.*
c 2 Cor. 3. 5.
‡ *mai Iesu yw yr Arglwydd.*
d Rhuf. 12. 4, &c. Heb. 2. 4. 1 Petr 4. 10.
e Eph. 4. 4.
f Rhuf. 12. 6, 7, 8. Eph. 4. 11.
§ Neu, *Duw yw yr, &c.*
g Eph. 1. 23.
h Mat. 17. 19. Pen. 13. 2.
i Marc 16. 18. Iago 5. 14.
‖ *doniau.*
k Act 2. 4.
l Pen. 7. 7. 2 Cor. 10. 13.
m Ioan 3. 8. Heb. 2. 4.
† *Cenhedloedd.*
r Ioan 6. 63.

n Rhuf. 12. 4. Eph. 4. 4, 16. o Gal. 3. 16. p Rhuf. 6. 5. q Gal. 3. 28. Eph. 2. 13, 14, 16. Col. 3. 11.

14 Canys y corph nid yw un aelod, eithr llawer.

15 Os dywaid y troed, Am nad wyf law, nid wyf o'r corph; ai am hynny nid yw efe o'r corph?

16 Ac os dywaid y glust, Am nad wyf lygad, nid wyf o'r corph; ai am hynny nid yw hi o'r corph?

17 Pe yr holl gorph *fyddai* lygad, pa le y *byddai*'r clywed? pe'r cwbl *fyddai* glywed, pa le y *byddai*'r arogliad?

18 Eithr yr awrhon Duw a osododd yr aelodau, bob un o honynt yn y corph, fel yr ewyllysiodd efe.

19 Canys pe baent oll un aelod, pa le y *byddai*'r corph?

20 Ond yr awrhon llawer *yw*'r aelodau, eithr un corph.

21 Ac ni all y llygad ddywedyd wrth y llaw, Nid rhaid i mi wrthyt; na'r pen chwaith wrth y traed, Nid rhaid i mi wrthych.

22 Eithr yn hytrach o lawer, yr aelodau o'r corph y rhai a dybir eu bod yn wannaf, ydynt angenrheidiol.

23 A'r rhai a dybiwn ni eu bod yn ammharchedicaf o'r corph, ynghylch y rhai hynny y gosodwn ychwaneg o barch; ac y mae'n *haelodau* anhardd yn cael ychwaneg o harddwch.

24 Oblegid ein *haelodau* hardd ni nid rhaid iddynt *wrtho*: eithr Duw a gyd-dymherodd y corph, gan roddi parch ychwaneg i'r hyn oedd ddiffygiol:

25 Fel na byddai ‡ anghydfod yn y corph; eithr bod i'r aelodau ofalu'r un peth dros eu gilydd.

26 A pha un bynnag ai dïoddef a wna un aelod, y mae'r holl aelodau yn cyd-ddïoddef; ai anrhydeddu a wneir un aelod, y mae'r holl aelodau yn cyd-lawenhâu.

27 Eithr [s] chwychwi ydych gorph Crist, ac aelodau o ran.

28 A [t] rhai yn wir a osododd Duw yn yr eglwys; yn gyntaf apostolion, [u] yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon, yna gwŷrthiau; wedi hynny doniau i iachâu, cynnorthwyau, [x] llywodraethau, § rhywiogaethau tafodau.

29 Ai apostolion pawb? ai prophwydi pawb? ai athrawon pawb? ai ‖ gwneuthurwŷr gwŷrthiau pawb?

30 A oes gan bawb ddoniau i iachâu? a yw pawb yn llefaru â thafodau? a yw pawb yn cyfieithu?

31 Eithr [y] deisyfiwch y doniau goreu. Ac etto yr wyf yn dangos i chwi ffordd dra rhagorol.

‡ *siam.*
s Rhuf. 12. 5. Eph. 1. 23. a 4. 12. a 5. 23, 30. Col. 1. 24.
t Eph. 4. 11.
u Eph. 2. 20.
x Rhuf. 12. 8. 1 Tim. 5. 17. Heb. 13. 17, 24.
§ *amrywiaethau.*
‖ Neu, *nerthoedd.*
y Pen. 14. 1, 39.

## PEN. XIII.

1 *Nad yw'r doniau godidoccaf ddim heb gariad.* 4 *Canmoliaeth cariad perffaith,* 13 *a'i ardderchowgrwydd rhagor gobaith a ffydd.*

PE llefarwn â thafodau dynion ac angylion, ac heb fod gennyf gariad, yr wyf *fel* efydd yn seinio, neu symbal yn tingcian. 59.

2 A phe byddai gennyf [a] brophwydoliaeth, a gwybod o honof y dirgelion oll, a phob gwybodaeth; a phe bai gennyf yr holl ffydd, [b] fel y gallwn symmudo mynyddoedd, ac heb gennyf gariad, nid wyf fi ddim.

a Pen. 12. 8, 9, 10. 28. Mat. 7. 22.
b Mat. 17. 20. Luc 17. 6.

3 A [c] phe porthwn y tlodion â'm holl ddâ, a phe rhoddwn fy nghorph i'm llosgi, ac heb gariad gennyf, nid yw ddim llesâd i mi.

4 [d] Y mae cariad yn hir-ymaros, yn gymmwynasgar; cariad nid yw yn cynfigennu; nid yw cariad yn † ymffrostio, nid yw yn ymchwyddo,

5 Nid yw yn gwneuthur yn anweddaidd, [e] nid yw yn ceisio yr eiddo ei hun, ni chythruddir, ni feddwl ddrwg,

6 [f] Nid yw lawen am anghyfiawnder, ond [g] cyd-lawenhâu y mae ‡ â'r gwirionedd;

7 *Y mae* yn dïoddef pob dim, yn credu pob dim, yn gobeithio pob dim, yn ymaros â phob dim.

8 Cariad byth ni chwymp ymaith: eithr pa un bynnag ai prophwydoliaethau, hwy a ballant; ai tafodau, hwy a beidiant; ai gwybodaeth, hi a ddiflanna.

9 Canys o ran y gwyddom, ac o ran yr ydym yn prophwydo.

10 Eithr pan ddelo yr hyn sydd berffaith, yna yr hyn sydd o ran a ddileir.

11 Pan oeddwn fachgen, fel bachgen y llefarwn, fel bachgen y deallwn, fel bachgen § y meddyliwn: ond pan aethum yn wr, mi a rois heibio bethau bachgennaidd.

12 Canys [h] gweled yr ydym yr awrhon trwy ddrych, ‖ mewn dammeg; ond yna, [i] wyneb yn wyneb: yn awr yr adwaen o ran; ond yna yr adnabyddaf megis y'm hadwaenir.

13 Yr awrhon y mae yn aros ffydd, gobaith, cariad, y tri hyn; a'r mwyaf o'r rhai hyn *yw* cariad.

[c] Mat. 6. 1, 2. [d] Diar. 10. 12. 1 Petr 4. 8. † *anwadalu.* [e] Pen. 10. 24. Phil. 2. 4. [f] Psal. 10. 3. Rhuf. 1. 32. [g] 2 Ioan 4. ‡ *yn y.* § Neu, *yr ymresymmwn.* [h] 2 Cor. 3. 18. a 5. 7. Phil. 3. 12. ‖ *yn dywyll.* [i] Mat. 18. 10. 1 Ioan 3. 2.

## PEN. XIV.

*1 Canmol prophwydoliaeth, 2, 3, 4 a'i osod o flaen llefaru â thafodau, 6 trwy gyffelybrwydd oddi wrth offer cerdd: 12 rhaid yw cyfeirio pob un o'r ddau tu ag at adeiladaeth, 22 megis tu ag at eu gwir a'u priodawl bennod: 26 iawn-arfer pob un o'r ddau, 29 a'u cam-arfer. 34 Gwarafun gwragedd i lefaru yn yr eglwys.*

59.

DILYNWCH gariad, a [a] deisyfiwch *ddoniau* ysprydol; [b] ond yn hytrach fel y prophwydoch.

2 Canys yr hwn sydd [c] yn llefaru â thafod *dieithr,* nid wrth ddynion y mae yn llefaru, ond wrth Dduw: canys nid oes neb yn † gwrando; er hynny yn yr yspryd y mae efe yn llefaru dirgeledigaethau.

3 Eithr yr hwn sydd yn prophwydo, sydd yn llefaru wrth ddynion er adeiladaeth, a chyngor, a chysur.

4 Yr hwn sydd yn llefaru â thafod *dieithr,* sydd yn ei adeiladu ei hunan; eithr yr hwn sydd yn prophwydo, sydd yn adeiladu 'r eglwys.

5 Mi a fynnwn pettych chwi oll yn llefaru â thafodau *dieithr;* ond yn hytrach brophwydo o honoch: canys mwy *yw* yr hwn sydd yn prophwydo, nâ 'r hwn sydd yn llefaru â thafodau; oddi eithr iddo *ei* gyfieithu, fel y derbynio 'r eglwys adeiladaeth.

6 *Ac* yr awrhon, frodyr, os deuaf attoch gan lefaru â thafodau, pa lesâd a wnaf i chwi, oni lefaraf wrthych naill ai trwy [d] weledigaeth, neu trwy wybodaeth, neu trwy brophwydoliaeth, neu trwy athrawiaeth?

7 Hefyd pethau dïenaid wrth roddi sain, pa un bynnag ai pibell ai telyn, oni roddant wahaniaeth yn y ‡ sain, pa wedd y gwybyddir y peth a genir ar y bibell, neu ar y delyn?

[a] Pen. 12. 31. [b] Num. 11. 25, 29. [c] Act. 2. 4. a 10. 46. † *deall.* [d] Adn. 26. ‡ *sainge.*

8 Canys os yr udgorn a rydd sain anhynod, pwy a ymbarottoa i ryfel?

9 Felly chwithau, oni roddwch â'r tafod ymadrodd deallus, pa wedd y gwybyddir y peth a leferir? canys chwi a fyddwch yn llefaru wrth yr awyr.

10 Y mae cymmaint, ysgatfydd, o rywogaethau lleisiau yn y byd, ac nid *oes* un o honynt yn aflafar.

11 Am hynny, oni wn i rym y llais, myfi a fyddaf farbariad i'r hwn sydd yn llefaru, a'r hwn sydd yn llefaru *a fydd* i mi yn farbariad.

12 Felly chwithau, gan eich bod yn awyddus i *ddoniau* § ysprydol, ceisiwch ragori tu ag at adeiladaeth yr eglwys.

13 O herwydd paham yr hwn sydd yn llefaru â thafod *dieithr,* gweddïed ar iddo allu cyfieithu.

14 Canys os gweddïaf â thafod *dieithr,* y mae fy yspryd yn gweddïo, ond y mae fy neall yn ddiffrwyth.

15 Beth gan hynny? Mi a weddïaf â'r yspryd, ac a weddïaf â'r deall hefyd: [c] canaf â'r yspryd, a chanaf â'r deall hefyd.

16 Canys os bendithi â'r yspryd, pa wedd y dywaid yr hwn sydd yn cyflawni lle 'r ‖ anghyfarwydd, Amen, ar dy ddodiad dïolch, gan na's gŵyr beth yr wyt yn ei ddywedyd?

17 Canys tydi yn ddïau ydwyt yn dïolch yn dda, ond y llall nid yw yn cael ei adeiladu.

18 Yr ydwyf yn dïolch i'm Duw, fy mod i yn llefaru â thafodau yn fwy nâ chwi oll:

19 Ond yn yr eglwys gwell gennyf lefaru pum gair trwy fy neall, fel y dysgwyf eraill hefyd, nâ myrddiwn o eiriau mewn tafod *dieithr.*

20 O frodyr, [d] na fyddwch fechgyn mewn deall: eithr mewn drygioni byddwch blant; ond mewn deall byddwch † berffaith.

21 Yn y ddeddf y mae yn ysgrifenedig, [e] Trwy rai estronieithus, a *thrwy* wefusau estronol, y llefaraf wrth y bobl hyn; ac ni 'm gwrandawant felly, medd yr Arglwydd.

22 Am hynny tafodau ydynt arwydd, nid i'r rhai sy yn credu, ond i'r rhai digred: eithr prophwydoliaeth, nid i'r rhai digred, ond i'r rhai sy yn credu.

23 Gan hynny os daw yr eglwys oll ynghŷd i'r un lle, a llefaru o bawb â thafodau *dieithr,* a dyfod o rai annysgedig neu ddigred i mewn; oni ddywedant eich bod yn ynfydu?

24 Eithr os prophwyda pawb, a dyfod o un digred neu annysgedig i mewn, efe a argyoeddir gan bawb, a fernir gan bawb:

25 Ac felly y gwneir dirgelion ei galon ef yn amlwg; ac felly gan syrthio ar *ei* wyneb, efe a addola Dduw, gan ddywedyd [f] fod Duw yn wir ynoch.

26 Beth gan hynny, frodyr? pan ddeloch ynghŷd, y mae gan bob un o honoch psalm, [g] y mae *ganddo* athrawiaeth, y mae *ganddo* dafodiaith, y mae *ganddo* ddatguddiad, y mae *ganddo* gyfieithiad. Gwneler pob peth er adeiladaeth.

27 Os llefara neb â thafod *dieithr, gwneler* bob yn ddau, neu o'r mwyaf *bob yn* dri, a hynny ar gylch; a chyfieithed un.

28 Eithr oni bydd cyfieithydd, tawed yn yr eglwys; eithr llefared wrtho ei hun, ac wrth Dduw.

§ *ysprydau.* [c] Psal. 47. 7. Eph. 5. 19. Col. 3. 16. ‖ *annysgedig.* [d] Psal. 131. 2. Mat. 11. 25. a 18. 3. Rhuf. 16. 19. Eph. 4. 14. † *wŷr.* [e] Esay 28. 11, 12. [f] Esay 45. 14. Zech. 8. 23. [g] Pen. 12. 8, 9, 10. Adn. 6.

29 *A* llefared y prophwydi ddau neu dri, a barned y lleill.

30 Ac os datguddir *dim* i un arall a fo yn eistedd yno, tawed y cyntaf.

31 Canys chwi a ellwch oll brophwydo bob yn un, fel y dysgo pawb, ac y cysurer pawb.

32 Ac y mae ysprydoedd y prophwydi yn ddarostyngedig i'r prophwydi.

33 Canys nid yw Duw *awdur* anghydfod, ond tangnefedd, [h] fel yn holl eglwysi'r saint.

34 [i] Tawed eich gwragedd yn yr eglwysi: canys ni chaniattawyd iddynt lefaru; ond [k] bod yn ddarostyngedig, megis ag y mae'r [l] gyfraith yn dywedyd.

35 Ac os mynnant ddysgu dim, ymofynant â'u gwŷr gartref: oblegid anweddaidd yw i wragedd lefaru yn yr eglwys.

36 Ai oddi wrthych chwi yr aeth gair Duw allan? neu ai attoch chwi yn unig y daeth efe?

37 [m] Os ydyw neb yn tybied ei fod yn brophwyd, neu yn ysprydol, cydnabydded y pethau yr wyf yn eu hysgrifenu attoch, mai gorchymynion yr Arglwydd ydynt.

38 Eithr od yw neb heb wybod, bydded heb wybod.

39 Am hynny, frodyr, byddwch awyddus i brophwydo, ac na waherddwch lefaru â thafodau *dieithr.*

40 Gwneler pob peth yn weddaidd, ac mewn trefn.

h Pen. 11. 16. — i 1 Tim. 2. 11, 12. — k Pen. 11. 3. Eph. 5. 22. Col. 3. 18. 1 Petr 3. 1. — l Gen. 3. 16. — m 2 Cor. 10. 7. 1 Ioan 4. 6.

## PEN. XV.

*3 Wrth adgyfodiad Crist, 12 y mae efe yn profi y bydd rhaid i ninnau adgyfodi, yn erbyn y rhai a wadant adgyfodiad y cnawd. 21 Ffrwyth 35 a dull yr adgyfodiad; 51 ac fel y newidir y rhai a gaffer yn fyw ar y dydd diweddaf.*

59. HEFYD yr ydwyf yn hyspysu i chwi, frodyr, yr efengyl a bregethais i chwi, [a] yr hon hefyd a dderbyniasoch, ac yn yr hon yr ydych yn sefyll;

2 [b] Trwy'r hon y'ch cedwir hefyd, os ydych yn dal yn eich cof â pha ymadrodd yr efangylais i chwi, oddi eithr [c] darfod i chwi gredu yn ofer.

3 Canys [d] mi a draddodais i chwi ar y cyntaf [e] yr hyn hefyd a dderbyniais, farw o Grist dros ein pechodau ni, [f] yn ol yr ysgrythyrau;

4 A'i gladdu, a'i gyfodi y trydydd dydd, [g] yn ol yr ysgrythyrau;

5 [h] A'i weled ef gan Cephas, yna [i] gan y deuddeg.

6 Wedi hynny y gwelwyd ef gan fwy nâ phum cant brodyr ar unwaith: o'r rhai y mae y rhan fwyaf yn aros hyd yr awrhon; eithr rhai a hunasant.

7 Wedi hynny y gwelwyd ef gan Iago; yna [k] gan yr holl apostolion.

8 [l] Ac yn ddiweddaf oll y gwelwyd ef gennyf finnau hefyd, megis gan un annhymmig.

9 Canys [m] myfi yw'r lleiaf o'r apostolion, yr hwn nid wyf addas i'm galw yn apostol, am [n] i mi erlid eglwys Dduw.

10 Eith [o] trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf: ai ras ef, yr hwn *a roddwyd* i mi, ni bu yn ofer; ond [p] mi a lafuriais yn helaethach nâ hwynt oll: *ac* [q] nid myfi chwaith, ond gras Duw yr hwn oedd gyd â mi.

a Gal. 1. 11. — b Rhuf. 1. 16. — c Gal. 3. 4. — d Pen. 11. 23. — e Gal. 1. 12. — f Psal. 22. 15, &c. Esay 53. 5, 6, &c. Dan. 9. 26. Luc 24. 26. 1 Petr 1. 11. a 2. 24. — g Psal. 16. 10. Esay 53. 10. Hos. 6. 2. — h Luc 24. 34. — i Marc 16. 14. Luc 24. 36. Ioan 20. 19, 24. Act. 10. 41. — k Luc 24. 50. — l Act. 9. 4. a 22. 14, 18. Pen. 9. 1. — m Eph. 3. 8. — n Act. 9. 1. Gal. 1. 13. 1 Tim. 1. 13. — o Eph. 3. 7, 8.

p 2 Cor. 11. 23. a 12. 11. q Mat. 10. 20. 2 Cor. 3. 5. Phil. 2. 13.

11 Am hynny, pa un bynnag ai myfi ai hwynt-hwy, felly yr ydym yn pregethu, ac felly y credasoch chwi

12 Ac os pregethir Crist, ei gyfodi ef o feirw; pa fodd y dywaid rhai yn eich plith chwi, nad oes adgyfodiad y meirw?

13 Eithr onid oes adgyfodiad y meirw, ni chyfodwyd Crist chwaith.

14 Ac os Crist ni chyfodwyd, ofer *yn wir yw* ein pregeth ni, ac ofer hefyd *yw* eich ffydd chwithau.

15 Fe a'n ceir hefyd yn gau-dystion i Dduw; canys [r] ni a dystiasom am Dduw, ddarfod iddo gyfodi Crist: yr hwn ni's cyfododd efe, os y meirw ni chyfodir.

16 Canys os y meirw ni chyfodir, ni chyfodwyd Crist chwaith.

17 Ac os Crist ni chyfodwyd, ofer *yw* eich ffydd chwi; yr ydych etto yn eich pechodau.

18 Yna hefyd y cyfrgollwyd y rhai a hunasant yng Nghrist.

19 Os yn y byd yma yn unig y gobeithiwn yng Nghrist, truanaf o'r holl ddynion ydym ni.

20 Eithr yn awr [s] Crist a gyfodwyd oddi wrth y meirw, *ac* a wnaed [t] yn flaen-ffrwyth y rhai a hunasant.

21 Canys [u] gan *fod* marwolaeth trwy ddyn, [x] trwy ddyn hefyd *y mae* adgyfodiad y meirw.

22 Oblegid megis yn Adda y mae pawb yn meirw, felly hefyd yng Nghrist y bywhêir pawb.

23 Eithr [y] pob un yn ei drefn ei hun: y blaen-ffrwyth *yw* Crist; wedi hynny y rhai *ydynt* eiddo Crist, yn ei ddyfodiad ef.

24 Yna *y bydd* y diwedd, wedi y rhoddo efe y deyrnas i Dduw a'r Tad; wedi iddo ddileu pob pendefigaeth, a phob awdurdod a nerth.

25 Canys rhaid iddo deyrnasu [z] hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed.

26 [a] Y gelyn diweddaf a ddinystrir *yw* yr angau.

27 Canys [b] efe a ddarostyngodd bob peth dan ei draed ef. Eithr pan yw yn dywedyd fod pob peth wedi eu darostwng, amlwg *yw* mai oddi eithr yr hwn a ddarostyngodd bob peth iddo.

28 A phan ddarostynger pob peth iddo, yna [c] y Mab ei hun hefyd a ddarostyngir i'r hwn a ddarostyngodd bob peth iddo ef, fel y byddo Duw oll yn oll.

29 *Os* amgen, beth a wna y rhai a fedyddir dros y meirw, os y meirw ni chyfodir ddim? paham ynte y bedyddir hwy dros y meirw?

30 A [d] phaham yr ydym ninnau mewn perygl bob awr?

31 [e] Yr ydwyf beunydd yn marw, † myn [f] eich gorfoledd yr hon sydd gennyf yng Nghrist Iesu ein Harglwydd.

32 Os ‡ yn ol dull dyn [g] yr ymleddais ag anifeiliaid yn Ephesus, pa lesâd *sydd* i mi, oni chyfodir y meirw? [h] bwyttâwn ac yfwn; canys y foru marw yr ydym.

33 Na thwyller chwi: y mae ymddiddanion drwg yn llygru moesau da.

34 [i] Deffrôwch yn gyfiawn, ac na phechwch: canys nid oes gan rai wybodaeth am Dduw. [k] Er cywilydd i chwi yr wyf yn dywedyd hyn.

35 Eithr fe a ddywaid rhyw un, [l] Pa fodd y cyfodir y meirw? ac â pha *ryw* gorph y deuant?

r Act. 2. 24, 32. — s 1 Petr 1. 3. — t Act. 26. 23. Adn. 23. Col. 1. 18. Dat. 1. 5. — u Rhuf. 5. 12, 17. — x Ioan 11. 25. — y Adn. 20. 1 Thess. 4. 15, 16, 17. — z Psal. 110. 1. Act. 2. 34. Eph. 1. 22. Heb. 1. 13. a 10. 13. — a 2 Tim. 1. 10. Dat. 20. 14. — b Psal. 8. 6. Mat. 28. 18. Heb. 2. 8. — c Pen. 3. 23. a 11. 3. — d Gal. 5. 11. — e Rhuf. 8. 36. Pen. 4. 9. 2 Cor. 4. 10, 11. — † *tyst yw fy ngorfoledd.* — f 1 Thess. 2. 19. — ‡ *i lefaru yn ol dull dyn.* — g 2 Cor. 1. 8. — h Esay 22. 13. a 56. 12. Doeth 2. 6. — i Rhuf. 13. 11. Eph. 5. 14. — k Pen. 6. 5. — l Esec. 37. 3.

[m] Ioan 12. 36 Oh ynfyd, [m] y peth yr wyt ti yn ei
24. hau, ni fywheir oni bydd efe marw.
37 A'r peth yr wyt yn ei hau, nid y
corph a fydd yr ydwyt yn ei hau, ond
gronyn noeth, ysgatfydd o wenith, neu o
ryw *rawn* arall.
38 Eithr Duw sydd yn rhoddi iddo gorph fel
y mynnodd efe, ac i bob hedyn ei gorph ei hun.
39 Nid *yw* pob cnawd unrhyw gnawd:
eithr arall *yw* cnawd dynion, ac arall *yw*
cnawd anifeiliaid, a *chnawd* arall *sydd* i
bysgod, ac arall i adar.
40 *Y mae* hefyd gyrph nefol, a chyrph
daearol: ond arall *yw* gogoniant y rhai
nefol, ac arall y rhai daearol.
41 Arall *yw* gogoniant yr haul, ac arall
*yw* gogoniant y lloer, ac arall *yw* gogoniant
y ser: canys y mae rhagor rhwng seren a
seren mewn gogoniant.
[n] Dan. 12. 42 [n] Felly hefyd *y mae* adgyfodiad y
3. Mat. 13. 43. meirw. [o] Efe a heuir mewn llygredigaeth,
[o] Phil. 3. *ac* a gyfodir mewn anllygredigaeth:
20. 43 Efe a heuir mewn ammharch, *ac* a
Col. 3. 4. gyfodir mewn gogoniant: efe a heuir mewn
Phil. 3. 21. gwendid, *ac* a gyfodir mewn nerth: efe a
heuir yn gorph anianol, *ac* a gyfodir yn
gorph ysprydol.
44 Y mae corph anianol, ac y mae corph
ysprydol.
[p] Gen. 2. 45 Felly hefyd y mae yn ysgrifenedig, [p] Y
7, 19. dyn cyntaf Adda a wnaed yn enaid byw,
[q] Rhuf. 5. [q] a'r Adda diweddaf yn yspryd yn bywhâu.
14. 46 Eithr nid cyntaf yr ysprydol, ond yr
anianol; ac wedi hynny yr ysprydol.
47 Y dyn cyntaf o'r ddaear yn ddaearol;
[r] Ioan 3. yr ail dyn yr Arglwydd [r] o'r nef.
13, 31. 48 Fel *y mae* y daearol, felly *y mae* y rhai
daearol hefyd; ac fel y mae y nefol, felly
*y mae* y rhai nefol hefyd.
[s] Gen. 5. 49 Ac [s] megis y dygasom ddelw y daear-
3. ol, [t] ni a ddygwn hefyd ddelw y nefol.
[t] Rhuf. 8. 50 Eithr hyn meddaf, *O* frodyr, na ddichon
29. 2 Cor. 3. [u] cig a gwaed etifeddu teyrnas Dduw; ac nad
18. a 4. 11. yw llygredigaeth yn etifeddu anllygredi-
Phil. 3. 21. 1 Ioan 3. 2. gaeth.
[u] Ioan 3. 51 Wele, yr wyf yn dywedyd i chwi
3, 5. ddirgelwch: [x] Ni hunwn ni oll, eithr ni a
[x] 1 Thess. newidir oll mewn moment, ar darawiad lly-
4. 15, 16, gad, wrth yr udgorn diweddaf.
17. Mat. 24. 31. 52 Canys [y] yr udgorn a gân, a'r meirw a
[y] 1 Thess. gyfodir yn anllygredig, a ninnau a newidir.
4. 16. 53 O herwydd rhaid i'r llygradwy hwn
[z] 2 Cor. 5. wisgo anllygredigaeth, ac [z] i'r marwol hwn
4. wisgo anfarwoldeb.
54 A phan ddarffo i'r llygradwy hwn
wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn
wisgo anfarwoldeb, yna y bydd yr ymad-
[a] Esay 25. rodd a 'sgrifenwyd, [a] Angau a lyngcwyd
8. Dat. 20. 14. mewn buddugoliaeth.
[b] Hos. 13. 55 [b] O angau, pa le *mae* dy golyn? O
14. † uffern, pa le *mae* dy fuddugoliaeth?
† Neu, *y bedd.* 56 Colyn angau *yw* pechod, a [c] grym pe-
chod *yw*'r gyfraith.
[c] Rhuf. 5. 57 Ond i Dduw *y byddo*'r diolch, yr
13. a 7. 5, 13. hwn sydd yn rhoddi i ni [d] fuddugoliaeth
[d] 1 Ioan 5. trwy ein Harglwydd Iesu Grist.
5. 58 Am hynny, fy mrodyr anwyl, byddwch
‡ *yn ym-helaethu.* sicr, a diymmod, ‡ *a* helaethion yngwaith yr
Arglwydd yn wastadol; § a chwi yn gwy-
§ *gan wybod.* bod nad yw eich llafur chwi yn ofer yn yr
Arglwydd.

## PEN. XVI.

1 *Y mae yn eu hannog i borthi angen y brodyr yn Jerusalem: 10 yn canmol Timotheus; 13 ac ar ol rhybuddion caredig, 16 yn diweddu ei epistol ag amryw annerchion.*

HEFYD am [a] y gasgl i'r saint; megis yr 59.
ordeiniais i eglwysi Galatia, felly gw- [a] Act. 11.
newch chwithau. 29. a 24. 17. Rhuf. 15.
2 [b] Y *dydd* cyntaf o'r wythnos, pob un o 26.
honoch rhodded heibio yn ei ymyl, gan 2 Cor. 8.
drysori, fel y llwyddodd *Duw* ef, fel na 4. a 9. 1, 2,
byddo casgl pan ddelwyf fi. 12.
3 A [c] phan ddelwyf, pa rai bynnag a [b] Act. 20. 7.
ddangosoch eu bod yn gymmeradwy trwy Dat. 1. 10.
lythyrau, y rhai hynny a ddanfonaf i ddwyn [c] 2 Cor. 8.
eich † rhodd i Jerusalem. 16, 19.
4 Ac ‡ os bydd y peth yn haeddu i minnau † *haelioni.*
hefyd fyned, hwy a gânt fyned gyd â mi. ‡ Neu, *os bydd addas.*
5 Eithr mi a ddeuaf attoch, [d] gwedi yr
elwyf trwy Macedonia (canys trwy Mace- [d] Act. 19.
donia yr wyf yn myned) 21.
6 Ac nid hwyrach yr arhosaf gyd â chwi, 2 Cor. 1.
neu y gauafaf hefyd, fel y'm hebryngoch i 16.
ba le bynnag yr elwyf.
7 Canys nid oes i'm bryd eich gweled yn
awr ar fy hynt; ond yr wyf yn gobeithio'r
arhosaf ennyd gyd â chwi, [e] os cenhada yr [e] Act. 18.
Arglwydd. 21.
8 Eithr mi a arhosaf yn Ephesus hyd y Pen. 4. 19. Iago 4. 15.
Sulgwyn.
9 Canys [f] agorwyd i mi ddrws mawr a [f] Act. 14.
grymmus, ac *y mae* gwrthwynebwyr lawer. 27.
10 Ac [g] os Timothëus a ddaw, edrych- 2 Cor. 2.
wch ar ei fod yn ddiofn gyd â chwi: canys 12.
[h] gwaith yr Arglwydd y mae yn ei weithio, Col. 4. 3.
fel finnau. Act. 19. 22.
11 [i] Am hynny na ddiystyred neb ef; [g] Pen. 4.
ond hebryngwch ef mewn heddwch, fel y 17.
delo attaf fi: canys yr wyf fi yn ei ddisgwyl [h] Rhuf. 16.
ef gyd â'r brodyr. 21.
12 Ac am y brawd Apôlos, mi a ymbiliais Phil. 2.
lawer ag ef am ddyfod attoch chwi gyd â'r 20, 22.
brodyr: eithr er dim nid oedd ei ewyllys ef 1 Thess. 3.
i ddyfod yr awrhon; ond efe a ddaw pan 2.
gaffo amser cyfaddas. [i] 1 Tim. 4.
13 Gwyliwch, sefwch yn y ffydd, ym- 12.
wrolwch, ymgryfhewch.
14 Gwneler eich holl bethau chwi mewn
cariad.
15 Ond yr ydwyf yn attolwg i chwi, fro-
dyr (chwi a adwaenoch dŷ Stephanas, mai
[k] blaen-ffrwyth Achaia ydyw, ac iddynt ym- [k] Rhuf. 16.
osod i weinidogaeth y saint) 5.
16 [l] Fod o honoch chwithau yn ddaros- [l] Heb. 13.
tyngedig i'r cyfryw, ac i bob un sydd yn 17.
cyd-weithio, ac yn llafurio.
17 Ac yr ydwyf yn llawen am ddyfodiad
Stephanas, Ffortunatus, ac Achaicus: canys
[m] eich diffyg chwi hwy a'i cyflawnasant; [m] Phil. 2.
18 Canys hwy a esmwythasant ar fy 30.
yspryd i, a'r eiddoch chwithau: [n] cydna- Philem. 13.
byddwch gan hynny y cyfryw rai. [n] 1 Thess. 5. 12.
19 Y mae eglwysi Asia yn eich annerch Phil. 2. 29.
chwi. Y mae Acwila a Phriscila, [o] gyd â'r [o] Rhuf. 16.
eglwys sydd yn eu tŷ hwynt, yn eich an- 5.
nerch chwi yn yr Arglwydd yn § fynych. § Neu, *fawr.*
20 Y mae'r brodyr oll yn eich annerch.
[p] Annerchwch eich gilydd â chusan sanct- [p] Rhuf. 16.
eiddiol. 16.
21 [q] Yr annerch â'm llaw i Paul fy hun. [q] Col. 4.
22 Od oes neb nid yw yn caru yr Ar- 18.
glwydd Iesu Grist, bydded Anathema, Ma- 2 Thess. 3.
ranatha. 17.
23 [r] Gras *ein* Harglwydd Iesu Grist *a* [r] Rhuf. 16.
*fyddo* gyd â chwi. 20.
24 Fy serch innau *a fo* gyd â chwi oll yng Phil. 4. 23.
Nghrist Iesu. Amen.

¶ Yr *epistol* cyntaf at y Corinthiaid a 'sgrifenwyd o Philippi, gyd â Stephanas, a Ffortunatus, ac Achaicus, a Thimothëus.

# ¶ Ail Epistol PAUL yr Apostol at y CORINTHIAID.

PEN. I.

*3 Y mae'r apostol yn eu cysuro hwy yn erbyn
trallod, trwy'r diddanwch a'r amwared a
roisai Duw iddo ef, megis yn ei holl gystyng-
derau, 8 felly yn enwedig yn ei berygl di-
weddar yn Asia. 12 a chan gymmeryd tyst-
iolaeth oi gydwybod ei hun, a'r eiddynt
hwythau, am ei ddidwyll ddull yn pregethu
anghyfnewidiol wirionedd yr efengyl, 15 y
mae efe yn ei esgusodi ei hun na's daethai
attynt; gan iddo wneuthur hynny nid o
ysgafnder meddwl, eithr o'i dynerwch tu ag
attynt hwy.*

Bl. yr Argl. 60. PAUL, apostol Iesu Grist, trwy ewyllys
Duw, a'r brawd Timothëus, at eglwys
Dduw yr hon sydd yn Corinth, gyd â'r holl
seintiau y rhai sy yn holl Achaia.

[a] Eph. 1. 1. Phil. 1. 1. Col. 1. 2.
2 [a] Gras *fyddo* i chwi, a thangnefedd
oddi wrth Dduw ein Tad, a'r Arglwydd
Iesu Grist.

[b] Eph. 1. 3. 1 Petr 1. 3.
3 [b] Bendigedig *fyddo* Duw, a Thad ein
Harglwydd ni Iesu Grist, Tad y trugaredd-
au, a Duw pob diddanwch;

4 Yr hwn sydd yn ein diddanu ni yn ein
holl orthrymder, fel y gallom ninnau ddi-
ddanu y rhai sy mewn dim gorthrymder,
trwy y diddanwch â'r hwn y'n diddenir ni
ein hunain gan Dduw.

[c] Act. 9. 4. Pen. 4. 10. Col. 1. 24.
5 Oblegid fel [c] y mae dioddefiadau Crist
yn amlhâu ynom ni; felly trwy Grist y mae
ein diddanwch ni hefyd yn amlhâu.

[d] Pen. 4. 15.
6 A pha un bynnag ai ein gorthrymmu yr
ydys, [d] er diddanwch a iachawdwriaeth i
chwi *y mae*, yr hon a weithir trwy ymaros
dan yr un dioddefiadau, y rhai yr ydym
ninnau yn eu dioddef; ai ein diddanu yr
ydys, er diddanwch a iachawdwriaeth i
chwi *y mae hynny*.

7 Ac *y mae* ein gobaith yn sier am da-
noch; gan i ni wybod, mai megis yr ydych
yn gyfrannogion o'r dioddefiadau, felly *y
byddwch* hefyd o'r diddanwch.

[e] Act. 19. 23. 1 Cor. 15. 32.
8 Canys ni fynnem i chwi fod heb wy-
bod, frodyr, am [e] ein cystudd a ddaeth i ni
yn Asia, bwyso arnom yn ddirfawr uwch
ben *ein* gallu, hyd onid oeddym yn ammeu
cael byw hefyd.

[†] *atteb.* [f] Jer. 17. 5, 7.
9 Eithr ni a gawsom ynom ein hunain
[†] farn angau, [f] fel na byddai i ni ymddiried
ynom ein hunain, ond yn Nuw, yr hwn
sydd yn cyfodi'r meirw.

10 Yr hwn a'n gwaredodd ni oddi wrth
gyfryw ddirfawr angeu, ac sy yn ein gwa-
redu; yn yr hwn yr ydym yn gobeithio
y gwared *ni* hefyd rhag llaw:

[g] Rhuf. 15. 30. Phil. 1. 19. Philem. 22. [h] Pen. 4. 15.
11 A chwithau hefyd [g] yn cyd-weithio
drosom mewn gweddi, fel, [h] am y rhodd*i*ad
*a roddwyd* i ni o herwydd llawer, y rhodder
diolch gan lawer drosom.

[i] 1 Cor. 2. 4, 13.
12 Canys ein gorfoledd ni yw hyn; *sef*
tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn syml-
rwydd, a phurdeb duwiol, [i] nid mewn
doethineb cnawdol, ond trwy ras Duw, yr
ymddygasom yn y byd, ond yn hytrach tu
ag attoch chwi.

13 Canys nid ydym yn ysgrifennu amgen
bethau attoch, nag yr ydych yn eu darllain,
neu yn eu cydnabod, ac yr wyf yn gobeithio
a gydnabyddwch hyd y diwedd hefyd.

[k] Pen. 5. 12. [l] Phil. 2. 16. a 4. 1. 1 Thess. 2. 19, 20.
14 Megis y cydnabuoch ni o ran, [k] mai
nyni yw eich gorfoledd chwi, fel [l] chwi-
thau yr eiddom ninnau hefyd yn nydd yr
Arglwydd Iesu.

15 Ac yn yr hyder hwn yr oeddwn yn
ewyllysio dyfod attoch o'r blaen, fel y
caffech [m] ail ras; [m] Rhuf. 1. 11.

16 A myned heb eich llaw chwi i Mace-
donia, a [n] dyfod drachefn o Macedonia at- [n] 1 Cor. 16. 5.
toch, a chael fy hebrwng genych i Judea.

17 Gan hynny, pan oeddwn yn bwriadu
hyn, a arferais i ysgafnder? neu y pethau
yr wyf yn eu bwriadu, ai yn ol y cnawd yr
wyf yn eu bwriadu, fel y byddai gyd â mi,
ie, ie, a nag e, nag e?

18 Eithr ffyddlon *yw* Duw, a'n [‡] hymad- [‡] *pregethiad.*
rodd ni wrthych chwi ni bu ie, a nag e.

19 Canys Mab Duw, Iesu Grist, yr hwn
a bregethwyd yn eich plith gennym ni, *sef* [o] 1 Ioan 2. 20, 27.
gennyf fi, a Silfanus, a Thimotheus, nid yd-
oedd ie, a nag e, eithr ynddo ef ie ydoedd. [p] Eph. 4. 30.

20 Oblegid holl addewidion Duw ynddo [2] Tim. 2. 19.
ef *ydynt* ie, ac ynddo ef amen, er gogoniant
i Dduw trwom ni. Dat. 2. 17.

21 A'r hwn sydd yn ein cadarnhâu ni gyd [q] Pen. 5. 5.
â chwi yng Nghrist, ac [o] a'n heneiniodd ni, [§] *wystl.*
*yw* Duw: [r] Pen. 11. 31.

22 Yr hwn hefyd [p] a'n seliodd, ac [q] a
roes [§] ernes yr Yspryd yn ein calonnau. [s] 1 Cor. 4. 21.

23 Ac [r] yr wyf fi yn galw Duw yn dyst Pen. 2. 3.
ar fy enaid, [s] mai er eich arbed chwi na a 12. 20
ddaethum etto i Corinth. a 13. 2, 10.

24 Nid am [t] ein bod yn arglwyddiaethu ar [t] 1 Cor. 3. 5.
eich ffydd chwi, ond yr ydym yn gyd-weith- 1 Petr 5. 3.
wŷr i'ch llawenydd: oblegid [u] trwy ffydd yr [u] Rhuf. 11. 20.
ydych yn sefyll.

PEN. II.

*1 Wedi iddo ddangos yr achos na ddaethai
efe attynt, 6 y mae efe yn erchi iddynt
faddeu i'r dyn a ysgymmunesid, a'i gy-
suro: 10 megis y maddeuasai yntau iddo,
ar ei wir edifeirwch: 12 gan ddangos
hefyd yr achos paham yr aethai efe o
Troas i Macedonia; 14 a'r llwyddiant a'r
ffyniant a roisai Duw i'w bregeth ef ym
mhob lle.*

EITHR mi a fernais hyn ynof fy hunan, na 60.
ddelwn drachefn mewn tristwch attoch.

2 Oblegid os myfi a'ch tristâf chwi, pwy
yw'r hwn a'm llawenhâ i, ond yr hwn a
dristawyd gennyf fi?

3 Ac mi a ysgrifennais hyn yma attoch,
fal pan ddelwn [a] na chawn dristwch oddi [a] Pen. 12. 21.
wrth y rhai y dylwn lawenhâu; [b] gan
hyderu am danoch oll, fod fy llawenydd i [b] Pen. 8. 22.
*yn llawenydd* i chwi oll. Gal. 5. 10.

4 Canys o orthrymder mawr, a chyfyng-
der calon, yr ysgrifennais attoch â dagrau
lawer; nid fel y'ch tristaid chwi, eithr fel
y gwybyddech y cariad sydd gennyf yn he-
laethach tu ag attoch chwi.

5 Ac [c] os gwnaeth neb dristâu, ni wnaeth [c] 1 Cor. 5. 1.
efe i mi dristâu, ond o ran; rhag i mi bwyso
arnoch chwi oll.

6 Digon i'r cyfryw *ddyn* y cerydd yma
*a ddaeth* oddi wrth laweroedd.

7 Yn gymmaint ag *y dylech*, yn y gwrth-
wyneb, yn hytrach faddeu *iddo*, a'i ddi-
ddanu, rhag llyngcu'r cyfryw gan ormod
tristwch.

8 Am hynny yr ydwyf yn attolwg i chwi,
gadarnhâu *eich* cariad tu ag atto ef.

9 Canys er mwyn hyn hefyd yr ysgrifen-
ais, fel y gwybyddwn brawf o honoch, a
ydych ufudd ym mhob peth.

10 I'r hwn yr ydych yn maddeu dim
iddo, *yr wyf* finnau: canys os maddeuais
ddim, i'r hwn y maddeuais, er eich mwyn
chwi *y maddeuais*, [†] yngolwg Crist; [†] *ym mherson.*

11 Fel na'n siommer gan Satan: canys nid ydym heb wybod ei ddichellion ef.

12 Eithr [d] wedi i mi ddyfod i Troas i *bregethu* efengyl Grist, ac [e] wedi agoryd i mi ddrws gan yr Arglwydd,

13 Ni chefais lonydd yn fy yspryd, am na chefais [f] Titus fy mrawd: eithr gan ganu yn iach iddynt, mi a aethum ymaith i Macedonia.

14 Ond i Dduw *y byddo*'r diolch, yr hwn yn wastad sydd yn peri i ni orfoleddu yng Nghrist, ac sydd yn eglurhâu [g] arogledd ei wybodaeth trwom ni ym mhob lle.

15 Canys per-arogl Crist ydym ni i Dduw, [h] yn y rhai cadwedig, ac yn y rhai colledig:

16 [i] I'r naill *yr ydym* yn arogl marwolaeth i farwolaeth; ac i'r lleill, yn arogl bywyd i fywyd: a [k] phwy *sydd* ddigonol i'r pethau hyn?

17 Canys nid ydym ni, megis llawer, [l] yn † gwneuthur masnach o air Duw: eithr megis o burdeb, eithr megis o Dduw, yngŵydd Duw yr ydym yn llefaru ‡ yng Nghrist.

d Act. 16. 8.
e 1 Cor. 16. 9.
f Edrych Pen. 7. 6.
g Can. 1. 3.
h 1 Cor. 1. 18.
i Luc 2. 34. Ioan 9. 39. 1 Petr 2. 7, 8.
k Pen. 3. 5, 6.
l Pen. 4. 2. 1 Thes. 2. 3, 5.
† *llygru gair Duw.*
‡ *o Grist.*

## PEN. III.

1 *Rhag i'w gau-athrawon hwy roi gwag-orfoledd yn ei erbyn ef, y mae efe yn dangos fod ffydd a doniau'r Corinthiaid yn canmol ei weinidogaeth ef yn ddigon helaeth: 6 ac ar hyn, trwy gyffelybrwydd rhwng gweinidogion y ddeddf a'r efengyl, 12 y mae efe yn profi fod ei weinidogaeth ef yn rhagori, o gymmaint ag y mae efengyl y bywyd, a rhyddid, yn fwy gogoneddus nâ chyfraith damnedigaeth.*

60. [a] A Ddechreu yr ydym drachefn ein canmol ein hunain? ai rhaid i ni, megis i rai, wrth lythyrau canmoliaeth attoch chwi, neu *rai* canmoliaeth oddi wrthych chwi?

2 [b] Ein llythyr ni ydych chwi yn ysgrifenedig yn ein calonnau, *yr hwn* a ddeallir ac a ddarllenir gan bob dyn:

3 *Gan fod* yn eglur mai llythyr Crist *ydych*, wedi ei weini gennym ni, wedi ei 'sgrifenu nid ag ingc, ond ag Yspryd y Duw byw; nid [c] mewn llechau cerrig, eithr [d] mewn llechau cnawdol y galon.

4 A chyfryw hyder sydd gennym trwy Grist ar Dduw:

5 [e] Nid o herwydd ein bod yn ddigonol o honom ein hunain i feddwl dim megis o honom ein hunain; eithr [f] ein digonedd ni *sydd* o Dduw.

6 Yr hwn hefyd a'n gwnaeth ni [g] yn weinidogion cymmwys [h] y testament newydd; nid [i] i'r llythyren, ond i'r yspryd: canys [k] y mae'r llythyren yn lladd, ond yr yspryd sydd yn bywhâu.

7 Ac os bu gweinidogaeth angau, mewn llythyrenau [l] wedi eu hargraphu ar gerrig, mewn gogoniant, [m] fel na allai plant yr Israel edrych yn graff ar wyneb Moses, gan ogoniant ei wynebpryd, yr hwn *ogoniant* a ddilewyd;

8 Pa fodd na bydd gweinidogaeth yr Yspryd yn hytrach mewn gogoniant?

9 Canys os *bu* gweinidogaeth damnedigaeth *yn* ogoniant, mwy o lawer y mae gweinidogaeth [n] cyfiawnder yn rhagori mewn gogoniant.

10 Canys hefyd ni ogoneddwyd yr hyn a ogoneddwyd yn y rhan hon, o herwydd y gogoniant tra rhagorol.

11 Oblegid os *bu* yr hyn a ddileid yn ogoneddus, mwy o lawer *y bydd* yr hyn sydd yn aros yn ogoneddus.

a Pen. 5. 12. a 10. 8, 12.
b 1 Cor. 9. 2, 3. Pen. 12. 12.
c Exod. 24. 12. a 34. 1.
d Psal. 40. 8. Jer. 31. 33. Ezec. 11. 19. a 36. 26. Heb. 8. 10, 12.
e Pen. 2. 16.
f Phil. 2. 13.
g Pen. 5. 18.
h Jer. 31. 31. Mat. 26. 28.
i Rhuf. 2. 27, 29. a 7. 6.
k Rhuf. 3. 20. a 4. 15. a 7. 9, 10, 11.
l Deut. 10. 1, &c.
m Exod. 34. 29, 30.
n Rhuf. 1. 17. a 3. 21.

12 Am hynny gan fod gennym gyfryw obaith, [o] yr ydym yn arfer hyder mawr.

13 Ac nid megis [p] y gosododd Moses orchudd ar ei wyneb, fel nad edrychai plant Israel yn graff ar [q] ddiwedd yr hyn a ddileid.

14 Eithr † [r] dallwyd eu meddyliau hwynt: canys hyd y dydd heddyw y mae yr un gorchudd, wrth ddarllen yn yr hen destament, yn aros heb ei ddatguddio; yr hwn yng Nghrist a ddileir.

15 Eithr hyd y dydd heddyw, pan ddarllenir Moses, y mae'r gorchudd ar eu calon hwynt.

16 Ond [s] pan ymchwelo at yr Arglwydd, [t] tynnir ymaith y gorchudd.

17 Eithr yr Arglwydd yw'r Yspryd: a lle *mae* Yspryd yr Arglwydd, yno *y mae* rhyddid.

18 Eithr nyni oll ag wyneb agored, yn edrych [u] ar ogoniant yr Arglwydd [x] megis mewn drych, [y] a newidir i'r unrhyw ddelw o ogoniant i ogoniant, megis ‡ gan Yspryd yr Arglwydd.

o Eph. 6. 19.
p Exod. 34. 33, 35.
q Rhuf. 10. 4. Gal. 3. 23.
† *caledwyd.*
r Esay 6. 10. Rhuf. 11. 8.
s Rhuf. 11. 23, 26.
t Esay 25. 7.
u Pen. 4. 4, 6. 1 Tim. 1. 11.
x 1 Cor. 13. 12.
y Rhuf. 8. 28. 1 Cor. 15. 49. Col. 3. 10.
‡ *gan yr Argl. yr Yspryd.*

## PEN. IV.

1 *Y mae efe yn dangos arferu o hono ef bob math ar burdeb a diwydrwydd ffyddlawn, wrth bregethu'r efengyl; 7 a bod y blinderau a'r erlid yr oedd efe beunydd yn eu dïoddef o achos yr efengyl, er moliant i allu Duw, 12 a llesâd i'r eglwys, 16 a gogoniant tragywyddol iddo yntau.*

AM hynny gan fod i ni y weinidogaeth hon, [a] megis y cawsom drugaredd, nid ydym yn pallu; 60.

2 Eithr *ni* a ymwrthodasom â chuddiedig bethau [b] † cywilydd, heb rodio mewn cyfrwysdra, [c] na thrin gair Duw yn dwyllodrus, eithr [d] trwy eglurhâd y gwirionedd [e] yr ydym yn ein canmol ein hun wrth bob cydwybod dynion yngolwg Duw.

3 Ac os cuddiedig yw ein hefengyl ni, [f] yn y rhai colledig y mae yn guddiedig:

4 Yn y rhai y [g] dallodd [h] duw y byd hwn feddyliau y rhai digred, fel na thywynnai iddynt lewyrch efengyl [i] gogoneddus Crist, [k] yr hwn yw delw Dduw.

5 Canys nid ydym yn ein pregethu ein hunain, ond Crist Iesu yr Arglwydd; a [l] ninnau yn weision i chwi er mwyn Iesu.

6 Canys Duw, [m] yr hwn a orchymynodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, *yw* yr hwn [n] a lewyrchodd yn ein calonnau, i *roddi* goleuni gwybodaeth gogoniant Duw, yn wyneb Iesu Grist.

7 Eithr y mae gennym y trysor hwn mewn [o] llestri pridd, [p] fel y byddai godidowgrwydd y gallu o Dduw, ac nid o honom ni.

8 Ym mhob peth *yr ŷm* yn gystuddiol, ond nid mewn ing; *yr ydym* mewn cyfyng-gyngor, ond nid yn ddiobaith;

9 Yn cael *ein* herlid, ond heb *ein* llwyr-adael; [q] yn cael *ein* bwrw i lawr, eithr heb *ein* difetha;

10 Gan gylch-arwain yn y corph bob amser [r] farweiddiad yr Arglwydd Iesu, [s] fel yr eglurer hefyd fywyd Iesu yn ein corph ni.

11 Canys [t] yr ydys yn ein rhoddi ni, y rhai ydym yn fyw, yn wastad i farwolaeth er mwyn Iesu, fel yr eglurer hefyd fywyd Iesu yn ein marwol gnawd ni.

a 1 Cor. 7. 25.
b Rhuf. 1. 16.
† *anonest.*
c Pen. 2. 17. 1 Thess. 2. 3, 5.
d Pen. 5. 11.
e Pen. 6. 4.
f 1 Cor. 1. 18. Pen. 2. 15. 2 Thess. 2. 10.
g Esay 6. 10.
h Ioan 12. 31. a 14. 30.
i Pen. 3. 18.
k Ioan 1. 18. a 12. 45. a 14. 9. Phil. 2. 6. Col. 1. 15. Heb. 1. 3.
l Pen. 1. 24.
m Gen. 1. 3.
n 2 Petr 1. 19.
o Pen. 5. 1.
p 1 Cor. 2. 5.
q Psal. 37. 24.
r Pen. 1. 5.
s Rhuf. 8. 17. 2 Tim. 2. 11, 12. 1 Petr 4. 13.
t Psal. 44. 22. 1 Cor. 15. 31, 49.

12 Felly [u] y mae angau yn gweithio ynom ni, ac einioes ynoch chwithau.

13 *A* chan fod gennym [x] yr un yspryd ffydd, yn ol yr hyn a 'sgrifenwyd, [y] Credais, am hynny y lleferais; yr ydym ninnau hefyd yn credu, ac am hynny yn llefaru.

14 Gan wybod y bydd [z] i'r hwn a gyfododd yr Arglwydd Iesu, ein cyfodi ninnau hefyd trwy Iesu, a'n gosod ger bron gyd â chwi.

15 Canys [a] pob peth *sydd* er eich mwyn chwi, fel [b] y byddo i ras wedi amlhâu, trwy ddiolchgarwch llaweroedd, ymhelaethu i ogoniant Duw.

16 O herwydd paham nid ydym yn pallu; eithr er llygru ein dyn oddi allan, er hynny [c] y dyn oddi mewn a adnewyddir o ddydd i ddydd.

17 Canys [d] ein byr ysgafn gystudd ni sydd yn odidog ragorol yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni:

18 Tra na byddom yn edrych ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir: canys y pethau a welir *sy* dros amser, ond y pethau ni welir *sy* dragywyddol.

## PEN. V.

*1 Ei fod ef mewn sicr obaith o'r gogoniant tragywyddol, 9 a disgwyl am dano, ac am y farn gyffredinol, yn ymegnïo i gadw cydwybod dda; 12 nid er mwyn ymffrostio yn hynny, 14 eithr megis un wedi derbyn bywyd oddi wrth Grist, yn ceisio byw fel creadur newydd i Grist yn unig, 18 a chymmodi eraill â Duw yng Nghrist, trwy weinidogaeth y cymmod.*

60.

CANYS ni a wyddom os [a] ein daearol dŷ o'r babell *hon* a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw, *sef* tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd.

2 Canys am hynny [b] yr ydym yn ochenaidio, gan ddeisyfu cael ein harwisgo â'n tŷ sydd o'r nef:

3 Os hefyd wedi [c] ein gwisgo, nid yn noethion y'n ceir.

4 Canys ninnau hefyd y rhai ŷm yn y babell *hon* ydym yn ocheneidio, yn llwythog: † yn yr hyn nid ŷm yn chwennych ein diosg, ond [d] ein harwisgo, fel y llyngcer yr hyn sydd farwol gan fywyd.

5 [e] A'r hwn a'n gweithiodd ni i hyn yma *yw* Duw, yr hwn hefyd [f] a roddodd i ni ‡ ernes yr Yspryd.

6 Am hynny *yr ydym* yn hyderus bob amser, ac yn gwybod, tra 'r ydym yn gartrefol yn y corph, ein bod oddi cartref oddi wrth yr Arglwydd:

7 Canys [g] wrth ffydd yr ydym yn rhodio, ac nid wrth olwg.

8 Ond yr ydym yn hŷ, ac [h] yn gweled yn dda yn hytrach fod oddi cartref o'r corph, a chartrefu gyd â'r Arglwydd.

9 Am hynny hefyd yr ydym yn § ymorchestu, pa un bynnag ai gartref y byddom ai oddi cartref, ein bod yn ‖ gymmeradwy ganddo ef.

10 [i] Canys rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist; [k] fel y derbynio pob un y pethau *a wnaethpwyd* yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynnag ai da ai drwg.

11 A ni gan hynny yn gwybod [l] ofn yr Arglwydd, yr ydym yn perswadio dynion;

[u] Pen. 13. 9. [x] Rhuf. 1. 12. 2 Petr 1. 1. [y] Psal. 116. 10. [z] Rhuf. 8. 11. 1 Cor. 6. 14. [a] Pen. 1. 6. Col. 1. 24. 2 Tim. 2. 10. [b] Pen. 1. 11. [c] Rhuf. 7. 22. Eph. 3. 16. Col. 3. 10. 1 Petr 3. 4. [d] Rhuf. 8. 18. 1 Petr 1. 6. a 5. 10.

[a] Job 4. 19. Pen. 4. 7. 2 Petr 1. 13, 14. [b] Rhuf. 8. 23. [c] Dat. 3. 18. a 16. 15. † *o herwydd nad.* [d] 1 Cor. 15. 53, 54. [e] Esay 29. 23. Eph. 2. 10. [f] Rhuf. 8. 23. Pen. 1. 22. Eph. 1. 14. a 4. 30. ‡ *wystl.* [g] Rhuf. 8. 23, 24. 1 Cor. 13. 12. Heb. 11. 1. [h] Phil. 1. 23. § *ymegnïo.* ‖ *rhyngu bodd yn dda iddo ef.* [i] Rhuf. 14. 10. [k] Rhuf. 2. 6. Gal. 6. 7. Eph. 6. 8. Col. 3. 24, 25. Dat. 22. 12. [l] Job 31. 23. Judas 23.

[m] eithr i Dduw y'n gwnaed yn hyspys; ac yr ydwyf yn gobeithio ddarfod ein gwneuthur yn hyspys yn eich cydwybodau chwithau hefyd.

12 Canys [n] nid ydym yn ein canmol ein hunain drachefn wrthych, ond yn rhoddi i chwi achlysur [o] gorfoledd o'n plegid ni, fel y caffoch beth i *atteb* yn erbyn y rhai sy yn gorfoleddu yn † y golwg, ac nid yn y galon.

13 Canys [p] pa un bynnag ai ammhwyllo yr ydym, i Dduw *yr ydym*; ai yn ein pwyll yr ydym, i chwi *yr ydym*.

14 Canys y mae cariad Crist yn ein cymmell ni, gan farnu o honom hyn; [q] os bu un farw dros bawb, yna meirw oedd pawb:

15 Ac efe a fu farw dros bawb, [r] fel na byddai i'r rhai byw fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r hwn a fu farw drostynt, ac a gyfodwyd.

16 [s] Am hynny nyni o hyn allan nid adwaenom neb yn ol y cnawd: ac os buom hefyd yn adnabod Crist yn ol y cnawd, etto yn awr nid ydym yn *ei* adnabod *ef* mwyach.

17 Gan hynny od *oes* neb [t] yng Nghrist, ‡ *y mae efe* yn greadur newydd: [u] yr hen bethau a aethant heibio; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd.

18 A phob peth *sydd* o Dduw, [x] yr hwn a'n cymmododd ni ag ef ei hun trwy Iesu Grist, ac a roddodd i ni weinidogaeth y cymmod;

19 Sef, bod [y] Duw yng Nghrist yn cymmodi y byd ag ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau; ac wedi gosod ynom ni air y cymmod.

20 Am hynny yr ydym ni [z] yn genhadau dros Grist, megis pe byddai Duw yn deisyf *arnoch* trwom ni: yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw.

21 Canys yr hwn nid adnabu bechod, [a] a wnaeth efe yn bechod drosom ni; fel y'n gwnelid ni [b] yn gyfiawnder Duw ynddo ef.

## PEN. VI.

*Darfod iddo ei ddangos ei hun yn weinidog ffyddlawn i Grist, trwy ei gynghorion, 3 a diniweidrwydd ei fuchedd, 4 a'i ddioddefgarwch mewn pob math ar gystudd, ac ammharch, er mwyn yr efengyl: 10 am yr hon y mae efe yn hyfach yn llefaru yn eu plith, am fod ei galon ef yn agored iddynt: 13 ac y mae efe yn disgwyl am y cyfryw ewyllysgarwch drachefn oddi wrthynt hwy; 14 gan eu hannog i ochelyd cymdeithas ac aflendid eilun-addolwŷr, a hwythau yn demlau y Duw byw.*

60.

A Ninnau, [a] gan gyd-weithio, ydym yn attolwg i *chwi*, [b] na dderbynioch ras Duw yn ofer.

2 (Canys y mae efe yn dywedyd, [c] Mewn amser cymmeradwy y'th wrandewais, ac yn nydd iachawdwriaeth y'th gynnorthwyais: wele, yn awr yr amser cymmeradwy; wele, yn awr ddydd yr iachawdwriaeth)

3 [d] Heb roddi dim achos tramgwydd mewn dim, fel na feier ar y weinidogaeth:

4 Eithr gan ein † dangos ein hunain ym mhob peth [e] fel gweinidogion Duw, mewn amynedd mawr, mewn cystuddiau, mewn anghenion, mewn cyfyngderau,

5 [f] Mewn gwïalennodiau, mewn carcharau, mewn terfysgau, mewn poenau, mewn gwyliadwriaethau, mewn ymprydiau,

[m] Pen. 4. 2. [n] Pen. 3. 1. [o] Pen. 1. 14. † *Gr. yr wyneb.* [p] Pen. 11. 1, 16, 17. a 12. 6, 11. [q] Rhuf. 5. 15. [r] Rhuf. 6. 11, 12. Gal. 2. 20. 1 Thess. 5. 10. 1 Petr 4. 2. [s] Mat. 12. 50. Ioan 15. 14. Gal. 5. 6. [t] Rhuf. 8. 9. Gal. 6. 15. ‡ *bydded yn.* [u] Esay 43. 18, 19. a 65. 17. Eph. 2. 15. Dat. 21. 5. [x] Rhuf. 5. 10. Eph. 2. 16. Col. 1. 20. 1 Ioan 2. 2. a 4. 10. [y] Rhuf. 3. 24, 25. [z] Job 33. 23. Mal. 2. 7. Pen. 3. 6. Eph. 6. 20. [a] Esay 53. 6, 9, 12. Gal. 3. 13. 1 Petr 2. 22, 24. 1 Ioan 3. 5. [b] Rhuf. 1. 17.

[a] 1 Cor. 3. 9. [b] Heb. 5. 20. a 12. 15. [c] Esay 49. 8. [d] 1 Cor. 10. 32. † *canmol,* Pen. 4. 2. [e] 1 Cor. 4. 1. [f] Pen. 11. 23.

6 Mewn purdeb, mewn gwybodaeth, mewn
hir-ymaros, mewn tiriondeb yn yr Yspryd
Glân, mewn cariad diragrith,
7 Yngair y gwirionedd, yn [g] nerth Duw,
trwy [h] arfau cyfiawnder ar ddehau ac ar
aswy,
8 Trwy barch ac ammharch, trwy anglod
a chlod: megis twyllwŷr, ac *er hynny* yn
eirwir;
9 Megis anadnabyddus, ac [i] *er hynny* yn
adnabyddus; [k] megis yn meirw, ac wele
byw ydym; [l] megis wedi ein ceryddu, a
heb ein lladd;
10 Megis wedi ein tristâu, ond yn was-
tad yn llawen; megis yn dlodion, ond yn
cyfoethogi llawer; megis heb ddim genym,
ond *etto* yn meddiannu pob peth.
11 Ein genau ni a agorwyd wrthych chwi,
O Gorinthiaid, [m] ein calon ni a ehangwyd.
12 Ni chyfyngwyd arnoch ynom ni, eithr
[n] cyfyngwyd arnoch yn eich ymysgaroedd
eich hunain.
13 Ond am yr un tâl ([o] yr ydwyf yn dy-
wedyd megis wrth *fy* mhlant) ehanger chwi-
thau hefyd.
14 [p] Na iauer chwi yn anghymharus gyd
â'r rhai digred: canys [q] pa gyfeillach *sydd*
† rhwng cyfiawnder ac anghyfiawnder? a
pha gymmundeb ‡ rhwng goleuni a thy-
wyllwch?
15 A pha gyssondeb *sydd* rhwng Crist a
Belial? neu pa ran *sydd* i gredadyn gyd ag
anghredadyn?
16 A pha gydfod *sydd* rhwng teml Dduw
ac eilunod? canys [r] teml y Duw byw ydych
chwi; fel y dywedodd Duw, [s] Mi a bres-
wyliaf ynddynt, ac a rodiaf yn *eu mysg*, ac
a fyddaf yn Dduw iddynt hwy, a hwy a
fyddant yn bobl i mi.
17 [t] O herwydd paham deuwch allan o'u
canol hwy, ac ymddidolwch, medd yr Ar-
glwydd, ac na chyffyrddwch â dim aflan;
ac mi a'ch derbyniaf chwi,
18 [u] Ac a fyddaf yn Dad i chwi, a chwi-
thau a fyddwch yn feibion ac yn ferched i
mi, medd yr Arglwydd Holl-alluog.

[g] 1 Cor. 2. 4. [h] Pen. 10. 4. Eph. 6. 11, 13. 2 Tim. 4. 7. [i] Pen. 4. 2. [k] Pen. 4. 10, 11. [l] Psal. 118. 18. [m] Pen. 7. 2, 3. [n] Pen. 12. 15. [o] 1 Cor. 4. 14. [p] Deut. 7. 2. 1 Cor. 5. 9. [q] 1 Sam. 5. 2, 3. 1 Bren. 18. 21. Eccl. 13. 17. 1 Cor. 10. 21. Eph. 5. 11. † Gr. *i gyfiawnder.* ‡ Gr. *i oleuni.* [r] 1 Cor. 3. 16. Heb. 3. 6. [s] Lef. 26. 12. Ezec. 37. 26, &c. [t] Esay 52. 11. Dat. 18. 4. [u] Jer. 31. 1, 9. Dat. 21. 7.

## PEN. VII.

1 *Y mae efe ym mhellach yn eu hannog hwy i burdeb buchedd;* 2 *ac i ddwyn y cyfryw ewyllys da tu ag atto ef, ag yr oedd yntau yn ei ddwyn tu ag attynt hwy:* 3 *a rhag iddynt hwy feddwl ei fod ef yn ammeu hynny, y mae efe yn dangos pa gysur a gymmerodd efe yn ei flinderau, pan fynegodd Titus y tristwch duwiol a weithiasai ei epistol cyntaf ef ynddynt hwy,* 13 *a'u caredigrwydd hwynt, a'u hufudd-dod tu ag at Titus, megis y bostiasai efe o'r blaen am danynt hwy.*

60 AM hynny [a] gan fod gennym yr addew-
idion hyn, anwylyd, ymlanhâwn oddi
wrth bob halogrwydd cnawd ac yspryd, gan
berffeithio sancteiddrwydd yn ofn Duw.
2 Derbyniwch ni. Ni wnaethom gam i
neb; ni lygrasom neb; [b] nid yspeiliasom
neb.
3 Nid i'ch condemnio yr wyf yn dywe-
dyd: canys [c] mi a ddywedais o'r blaen eich
bod chwi yn ein calonnau ni, i farw ac i fyw
gyd â chwi.
4 *Y mae* hyfder fy ymadrodd yn fawr wr-
thych. *Y mae gennyf* orfoledd mawr o'ch
plegid chwi: [d] yr wyf yn llawn o ddiddan-
wch, yn dra-chyflawn o lawenydd yn ein
holl orthrymder.

[a] 1 Ioan 3. 3. Act. 20. 33. Pen. 12. 17. [c] Pen. 6. 11, 12. [d] Phil. 2. 17. Col. 1. 24.

5 Canys [e] wedi ein dyfod ni i Macedonia,
ni chafodd ein cnawd ni ddim llonydd;
eithr ym mhob peth cystuddiedig *fuom*:
[f] oddi allan *yr oedd* ymladdau, oddi fewn
ofnau.
6 Eithr [g] Duw, yr hwn sydd yn diddanu
y rhai cystuddiedig, a'n diddanodd ni wrth
[h] ddyfodiad Titus.
7 Ac nid yn unig wrth ei ddyfodiad ef,
ond hefyd wrth y diddanwch â'r hwn y
diddanwyd ef ynoch chwi, pan fynegodd
efe i ni eich awydd-fryd chwi, eich galar
chwi, eich zel tu ag attaf fi; fel y llawen-
heais i yn fwy.
8 Canys er i mi eich tristâu chwi mewn
llythyr, nid yw edifar gennyf, [i] er bod yn
edifar gennyf; canys yr wyf yn gweled
dristâu o'r llythyr hwnnw chwi, er *nad oedd*
*ond* dros amser.
9 Yn awr yr ydwyf yn llawen, nid am
eich tristâu chwi, ond am eich tristâu i
edifeirwch: canys tristâu a wnaethoch † yn
dduwiol, fel na chaech golled mewn dim
oddi wrthym ni.
10 Canys duwiol dristwch sydd yn gweith-
io edifeirwch, er iachawdwriaeth ‡ ni bydd
edifeirwch o honi: eithr tristwch y byd sydd
yn gweithio angau.
11 Canys wele hyn yma, eich tristâu
chwi § yn dduwiol, pa astudrwydd ei faint
a weithiodd ynoch, ïe, *pa* ymddiffyn, ïe,
*pa* sorriant, ïe, *pa* ofn, ïe, *pa* awydd-fryd, ïe,
*pa* zel, ïe, *pa* ddïal! Ym mhob peth y
dangosasoch eich bod yn bur yn y peth
hwn.
12 O herwydd paham, er ysgrifenu o ho-
nof attoch, ni *'sgrifenais* o'i blegid ef a wnae-
thai y cam, nac oblegid yr hwn a gawsai
gam, ond er mwyn bod yn eglur i chwi ein
gofal drosoch ger bron Duw.
13 Am hynny nyni a ddiddanwyd yn
eich diddanwch chwi: a mwy o lawer y
buom lawen am lawenydd Titus; oblegid
esmwythâu ar ei yspryd ef gennych chwi
oll.
14 Oblegid os bostiais ddim wrtho ef am
danoch, ni'm cywilyddiwyd: eithr megis y
dywedasom wrthych bob dim mewn gwiri-
onedd, felly hefyd gwirionedd oedd ein bost
ni, yr hwn *a fu* wrth Titus.
15 Ac y mae ei ymysgaroedd ef yn he-
laethach tu ag attoch, wrth gofio o hono
eich ufudd-dod chwi oll, pa fodd trwy ofn a
dychryn y derbyniasoch ef.
16 Am hynny llawen wyf, [k] am fod i mi
hyder arnoch ym mhob dim.

[e] Pen. 2. 13. [f] Deut. 32. 25. [g] Pen. 1. 4. [h] Edrych Pen. 2. 13. [i] Pen. 2. 4. † *yn ol Duw.* ‡ *diedifar.* § *yn ol Duw.* [k] Pen. 2. 9. Phil. 2. 12. 2 Thes. 3. 4. Philem. 8. 21.

## PEN. VIII.

1 *Y mae efe yn eu hannog hwynt i gyfrannu yn helaeth i'r saint tlodion yn Jerusalem, trwy siampl y Macedoniaid;* 7 *trwy ganmol eu parodrwydd hwy o'r blaen,* 9 *trwy siampl Crist,* 14 *a thrwy y llesâd ysprydol a ddaw iddynt hwy o hynny:* 16 *gan ddangos iddynt burdeb ac ewyllysgarwch Titus, ac eraill o'r brodyr, y rhai, ar ei ddeisyfiad, a'i annog, a'i orchymyn ef, a ddaethant attynt hwy yn bwrpasol ynghylch y peth hyn.*

YR ydym ni hefyd yn hyspysu i chwi, 60.
frodyr, y gras Duw a roddwyd yn
eglwysi Macedonia;
2 Ddarfod, mewn mawr brofiad cystudd,
i helaethrwydd eu llawenydd hwy, [a] a'u
dwfn dlodi, ymhelaethu i gyfoeth eu † hael-
ioni hwy.

[a] Marc 12. 44. † *symlrwydd.*

3 Oblegid yn ol eu gallu (yr wyf fi yn
dyst) ac uwch law eu gallu, *yr oeddynt* yn
ewyllysgar o honynt eu hunain;
4 Gan ddeisyfu arnom trwy lawer o ym-
bil, ar dderbyn o honom ni y † rhodd, a
ᵇ chymdeithas gweinidogaeth y saint.
5 A *hyn a wnaethant*, nid fel yr oeddym
ni yn gobeithio, ond hwy a'u rhoddasant eu
hunain yn gyntaf i'r Arglwydd, ac i ninnau
trwy ewyllys Duw:
6 Fel y dymunasom ni ar Titus, megis y
dechreuasai efe o'r blaen, felly hefyd orphen
o hono ‡ yn eich plith chwi y gras hwn he-
fyd.
7 Eithr fel ᶜ yr ydych ym mhob peth yn
helaeth, mewn ffydd, a gair, a gwybodaeth,
a phob astudrwydd, ac yn eich cariad tu ag
attom ni; *edrychwch* ar fod o honoch yn y
gras hwn hefyd yn helaeth.
8 Nid trwy orchymyn yr ydwyf yn dy-
wedyd, ond oblegid diwydrwydd rhai eraill,
a chan brofi gwirionedd eich cariad chwi.
9 Canys chwi a adwaenoch rás ein Har-
glwydd Iesu Grist, ᵈ iddo ef, ac yntau yn
gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn
dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi
ef.
10 Ac ᵉ yr ydwyf yn rhoddi cyngor yn
hyn: canys ᶠ hyn sy dda i chwi, y rhai a
ragddechreuasoch, nid yn unig wneuthur,
ond hefyd ᵍ ewyllysio er y llynedd.
11 Ac yn awr gorphenwch wneuthur he-
fyd; fel megis ag *yr oedd* y parodrwydd i
ewyllysio, felly *y byddo* i gwblhâu hefyd o'r
hyn sydd gennych.
12 Canys ʰ os bydd parodrwydd meddwl
o'r blaen, yn ol yr hyn sydd gan un, *y mae*
yn gymmeradwy, nid yn ol yr hyn nid oes
ganddo.
13 Ac nid fel y byddai esmwythdra i
eraill, a chystudd i chwithau;
14 Eithr o gymhwysder: y pryd hwn
*bydded* eich helaethrwydd chwi *yn diwallu*
eu diffyg hwy, fel y byddo eu helaethrwydd
hwythau *yn diwallu* eich diffyg chwithau;
fel y byddo cymhwysder:
15 Megis y mae yn ysgrifenedig, ⁱ Yr
hwn *a gasglodd* lawer, nid oedd ganddo
§ weddill; ac *a gasglodd* ychydig, nid oedd
‖ arno eisiau.
16 Eithr i Dduw *y byddo*'r dïolch, yr hwn
a roddodd yr un diwydrwydd trosoch yngha-
lon Titus.
17 Oblegid yn wir efe a dderbyniodd ᵏ y
dymuniad; a chan fod yn fwy diwyd, a aeth
attoch o'i wirfodd ei hun.
18 ˡ Ni a anfonasom hefyd gyd ag ef y
brawd, yr hwn *y mae* ei glod yn yr efengyl
trwy'r holl eglwysi:
19 (Ac nid *hynny* yn unig, eithr hefyd a
ddewiswyd gan yr eglwysi i gyd-ymdaith
â ni â'r * gras hwn, yr hwn a wasanaethir
gennym er gogoniant i'r Arglwydd ei hun,
ac i *amlygu* parodrwydd eich meddwl chwi)
20 Gan ochelyd hyn, rhag i neb feio ar-
nom yn yr helaethrwydd yma, yr hwn a wa-
sanaethir gennym:
21 ᵐ Y rhai ydym yn rhag-ddarpar peth-
au onest, nid yn unig yngolwg yr Arglwydd,
ond hefyd yngolwg dynion.
22 Ac ni a anfonasom gyd â hwynt ein
brawd, yr hwn a brofasom mewn llawer o
bethau, lawer gwaith, ei fod ef yn ddyfal, ac
yn awr yn ddyfalach o lawer, am y mawr
ymddiried *y sydd* ‡ *gennyf* ynoch.
23 Os *gofynir* am Titus, fy nghydym-

† *rhad.* ᵇ Act. 11. 29. Rhuf. 15. 26. 1 Cor. 16. 1. Pen. 9. 1. ‡ *ynoch chwi.* ᶜ 1 Cor. 1. 5. ᵈ Luc 9. 58. Phil. 2. 7. ᵉ 1 Cor. 7. 25. ᶠ Diar. 19. 17. Mat. 10. 42. ᵍ Pen. 9. 2. ʰ Marc 12. 43. Luc 21. 3. ⁱ Exod. 16. 18. § *ormod.* ‖ *eisieu ganddo.* ᵏ Adn. 6. ˡ Pen. 12. 18. a 13. 14. * *rhodd hon, yr hon a, &c.* ᵐ Rhuf. 12. 17. Phil. 4. 8. 1 Petr 2. 12. ‡ *Neu, ganddo.*

maith yw, a chyd-weithydd tu ag attoch
chwi, neu am ein brodyr, cenhadau yr
eglwysi *ydynt, a* gogoniant Crist.
24 Am hynny dangoswch iddynt hwy hys-
pysrwydd o'ch cariad, ac o'n bost ninnau am
danoch chwi, yngolwg yr eglwysi.

PEN. IX.

1 *Y mae efe yn dangos yr achos paham y dan-
fonasai efe Titus a'i frodyr o'r blaen, er ei
fod yn gwybod eu parodrwydd hwy: 6 ac
y mae efe yn eu cynhyrfu hwy i roddi elu-
sen yn helaeth; gan fod hyn megis math ar
hauad had, 10 yr hwn a ddwg iddynt
gnwyrch, 13 ac a bair aberth mawr o foli-
ant i Dduw.*

CANYS tu ag at am ᵃ y weinidogaeth i'r 60.
saint, afraid yw i mi ysgrifenu attoch.
2 O herwydd mi a adwaen barodrwydd
eich meddwl chwi, yr hwn yr ydwyf yn
ei fostio wrth y Macedoniaid am danoch
chwi, fod ᵇ Achaia wedi ymbarottôi er y
llynedd; a'r zel *a ddaeth* oddi wrthych chwi
a annogodd lawer iawn.
3 A mi a ddanfonais y brodyr, fel na
byddo ein bost ni am danoch chwi yn ofer
yn y rhan hon; fel, megis y dywedais, y
byddoch wedi ymbarottôi:
4 Rhag, os y Macedoniaid a ddeuant gyd
â mi, a'ch cael chwi yn ammharod, bod i ni
(ni ddywedaf, chwi) gael cywilydd yn y fost
hyderus yma.
5 Mi a dybiais gan hynny yn angen-
rheidiol attolygu i'r brodyr, ar iddynt ddy-
fod o'r blaen attoch, a rhag-ddarparu eich
† bendith chwi yr hon a fynegwyd; fel y
byddo parod megis bendith, ac nid megis o
gybydd-dra.
6 A hyn *yr wyf yn ei ddywedyd*, ᶜ Yr hwn
sydd yn hau ‡ yn brin, a fed hefyd yn brin:
a'r hwn sydd yn hau § yn helaeth, a fed he-
fyd yn helaeth.
7 Pob un megis y mae yn rhag-arfaethu
yn ei galon, *felly rhodded*; ᵈ nid ‖ yn athrist,
neu † trwy gymmell: canys ᵉ rhoddwr llaw-
en y mae Duw yn ei garu.
8 Ac *y mae* Duw yn abl i beri i bob gras
fod yn helaeth tu ag attoch chwi; fel y
byddoch chwi ym mhob peth, bob amser, a
chennych bob digonoldeb yn helaeth i bob
gweithred dda:
9 (Megis yr ysgrifenwyd, ᶠ Efe a was-
garodd; rhoddodd i'r tlodion: ei gyfiawn-
der ef sydd yn aros yn dragywydd.
10 A'r hwn sydd ᵍ yn rhoddi had i'r
hauwr, ‡ rhodded hefyd fara yn ymborth, ac
amlhaed eich had, a chwaneged ffrwyth
eich ʰ cyfiawnder)
11 Wedi eich cyfoethogi ym mhob peth i
bob § haelioni, i yr hwn sydd yn gweithio
trwom ni ddïolch i Dduw.
12 Canys y mae gweinidogaeth y swydd
hon, nid yn unig yn cyflawni diffygion y
saint, ond hefyd yn ymhelaethu trwy aml
roddi dïolch i Dduw;
13 (Gan eu bod, trwy brofiad y weinidog-
aeth hon, yn gogoneddu Duw o herwydd
darostyngiad eich cyffes chwi i efengyl
Grist, ac *o herwydd* ‖ haelioni eich cyfran-
niad iddynt hwy, ac i bawb)
14 A thrwy eu gweddi hwythau dros-
och chwi, *y rhai ydynt* yn hiraethu am da-
noch chwi, am y rhagorol ras Duw *yr hwn
sydd* ynoch.
15 Ac i Dduw *y byddo*'r dïolch am ei
ddawn annhraethol.

ᵃ 1 Cor. 16. 1. Pen. 8. 4. ᵇ Pen. 8. 10. † *haelioni chwi, yr hwn a ddywedwyd o'r blaen gynnoch am danoch.* ᶜ Diar. 11. 24. a 22. 9. Gal. 6. 7, 9. ‡ *dan arbed.* § *gyd â bendithion.* ᵈ Deut. 15. 7. Diar 11. 25. Eccl. 35. 9, 10. Rhuf. 12. 8. ‖ *o dristwch.* † *o anghenrhaid.* ᵉ Exod. 25. 2 a 35. 5. ᶠ Psal. 112. 9. ᵍ Esay 55. 10. ‡ *a roddo hefyd fara yn ymborth, ac a amlhao, &c.* ʰ Mat. 6. 1. § *llafur.* ⁱ Pen. 1. 11. a 4. 15. ‖ *Gr. symlrwydd.*

## PEN. X.

*Yn erbyn y gau-apostolion, y rhai a ddiystyrent wendid ei bresennoldeb corphorol ef, y mae efe yn gosod allan y nerth a'r awdurdod ysprydol y gwisgid ef â hwynt yn erbyn pob gwrthwyneb allu; 7 gan eu sicrhâu hwy, y ceir ef, ar ei ddyfodiad, mor nerthol mewn gair, ag ydyw efe yr awrhon yn absennol yn ei 'sgrifen; 12 a chan feio ar y gau-athrawon, am ymgyrhaeddyd y tu hwnt i'w mesur, ac ymffrostio yn llafur gwŷr eraill.*

60. A [a] Myfi Paul wyf fy hun yn attolwg i
chwi, er addfwynder a hynawsedd
Crist. yr hwn † yn bresennol *wyf* wael yn
eich plith, ond yn absennol ydwyf yn hŷ
arnoch.
2 Ac yr ydwyf yn dymuno [b] na byddwyf
yn bresennol yn hŷ, â'r hyder ‡ yr wyf yn
meddwl bod tu ag at rai, y sy yn ein cyfrif
ni megis rhai yn rhodio yn ol y cnawd.
3 Canys, er ein bod ni yn rhodio yn
y cnawd, nid ydym yn milwrio yn ol y
cnawd:
4 (Canys arfau ein milwriaeth ni nid *ydynt*
gnawdol, ond nerthol § trwy Dduw [c] i fwrw
cestyll i'r llawr)
5 Gan fwrw ‖ dychymmygion i lawr, a
phob uchder a'r sy yn ymgodi yn erbyn
gwybodaeth Duw, a chan gaethiwo pob
meddwl i ufudd-dod Crist;
6 Ac yn barod gennym ddïal ar bob
anufudd-dod, pan gyflawner eich ufudd-dod
chwi.
7 A'i edrych yr ydych chwi ar bethau yn
ol y golwg? [d] os ymddiried neb ynddo ei
hun, ei fod ef yn eiddo Crist, meddylied
hyn drachefn o hono ei hun, megis ag *y mae*
efe yn eiddo Crist, felly *ein bod* ninnau hefyd yn eiddo Crist.
8 Oblegid pe bostiwn beth ychwaneg
hefyd [e] am ein hawdurdod (yr hon a
roddodd yr Arglwydd i ni er adeilad, ac
nid er eich dinystr chwi) [f] ni'm cywilyddid:
9 Fel na thybier fy mod megis yn eich
dychrynu chwi trwy lythyrau.
10 Oblegid y llythyrau yn wir († meddant) *sy* drymion a chryfion, eithr presennoldeb y corph *sydd* wan, a'r ymadrodd yn
ddirmygus.
11 Y cyfryw un meddylied hyn, mai y
fath ydym ni ar air trwy lythyrau yn absennol, yr un fath hefyd *a fyddwn* ar weithred
yn bresennol.
12 [g] Canys nid ŷm ni yn beiddio ein
cydstadlu, neu ein cyffelybu ein hunain, i
rai sy yn eu canmol eu hunain: eithr hwynthwy, gan eu mesur eu hunain wrthynt eu
hunain, a'u cyffelybu eu hunain iddynt eu
hunain, nid ydynt ‡ yn deall.
13 Eithr ni fostiwn ni hyd at bethau allan
o'*n* mesur, ond yn ol mesur y rheol a rannodd Duw i ni, mesur i gyrhaeddyd hyd
attoch chwi hefyd.
14 Canys nid ydym, megis *rhai* heb
gyrhaeddyd hyd attoch chwi, yn ymestyn
allan tu hwnt i'*n mesur;* canys hyd attoch chwi hefyd y daethom ag efengyl
Grist:
15 Nid gan fostio hyd at bethau allan
o'*n* mesur, [h] yn llafur rhai eraill; eithr gan
obeithio, pan gynnyddo eich ffydd chwi,
gael ynoch chwi ein mawrygu yn ol ein
rheol § yn helaeth,
16 I bregethu'r efengyl tu hwnt i chwi;

[a] Rhuf. 12. 1.
† *wrth olwg.*
[b] 1 Cor. 4. 21. Pen. 13. 10.
‡ *y'm tybir fy mod.*
§ Neu, *i.*
[c] Jer. 1. 10.
‖ *rhesymiadau.*
[d] 1 Cor. 14. 37. 1 Ioan 4. 6.
[e] Pen. 13. 10.
[f] Pen. 12. 6.
† Gr. *medd ef.*
[g] Pen. 3. 1. a 5. 12.
‡ *synhwyrol.*
[h] Rhuf. 15. 20.
§ *i helaethrwydd.*

ac nid i fostio yn rheol un arall am bethau
parod eisoes.
17 [i] Eithr yr hwn sydd yn ymffrostio,
ymffrostied yn yr Arglwydd.
18 Canys [k] nid yr hwn sydd yn ei ganmol ei hun, sydd gymmeradwy; ond [l] yr
hwn y mae yr Arglwydd yn ei ganmol.

## PEN. XI.

1 *Allan o'i eiddigedd dros y Corinthiaid, y rhai oedd yn dangos eu bod yn gwneuthur mwy o gyfrif o'r gau-apostolion nag o hono ef, y mae yn gorfod arno, yn erbyn ei ewyllys, ei ganmol ei hun, 5 trwy ei gystadlu ei hun â'r apostolion pennaf, 7 a'i fod yn pregethu'r efengyl yn rhad, ac yn ddigost, iddynt hwy: 13 gan ddangos nad oedd ef ddim gwaeth nâ'r gweithredwŷr twyllodrus hynny mewn un rhagor-fraint o'r ddeddf, 23 a'i fod yn rhagori arnynt yngwasanaeth Crist, ac ym mhob math ar ddioddefiadau o achos ei weinidogaeth.*

O Na chyd-ddygech â myfi ychydig yn 60.
[a] *fy* ffolineb; eithr hefyd † cyd-ddygwch â myfi.
2 Canys [b] eiddigus wyf trosoch ag eiddigedd duwiol: canys mi a'ch ‡ dyweddïais
chwi i un gwr, [c] i'*ch* § rhoddi *chwi* [d] *megis*
morwyn bur i Grist.
3 Ond y mae arnaf ofn, rhag mewn modd
yn y byd, megis y twyllodd [e] y sarph Efa
trwy ei chyfrwysdra, felly bod eich meddyliau chwi wedi eu llygru oddi wrth y symlrwydd sydd yng Nghrist.
4 Canys yn wir os ydyw yr hwn sydd yn
dyfod yn pregethu Iesu arall yr hwn ni
phregethasom ni, neu *os* ydych yn derbyn
yspryd arall yr hwn ni's derbyniasoch, neu
[f] efengyl arall yr hon ni dderbyniasoch, teg
y cyd-ddygech ‖ *ag ef.*
5 Canys yr ydwyf yn meddwl [g] na bûm
I ddim yn ol i'r apostolion pennaf.
6 Ac os *ydwyf* hefyd [h] yn anghyfarwydd
ar ymadrodd, etto nid *wyf felly* [i] mewn gwybodaeth; eithr [k] yn eich plith chwi nyni a
eglurhawyd yn hollol ym mhob dim.
7 A wneuthum i [l] fai wrth fy ngostwng
fy hun, fel y dyrchefid chwi, oblegid pregethu o honof i chwi efengyl Duw yn rhad?
8 Eglwysi eraill a yspeiliais, gan gymmeryd cyflog *ganddynt hwy,* i'ch gwasanaethu
chwi.
9 A phan oeddwn yn bresennol gyd â
chwi, ac arnaf eisiau, [m] ni ormesais ar neb:
canys fy eisiau i a gyflawnodd [n] y brodyr a
ddaethant o Macedonia: ac ym mhob dim
y'm cedwais fy hun heb bwyso arnoch, ac
mi a ymgadwaf.
10 [o] Fel y mae gwirionedd Crist ynof,
[p] ni argaeir yr ymffrost hwn yn fy erbyn yngwledydd Achaia.
11 Paham? *ai* am nad wyf yn eich caru
chwi? Duw a'i gŵyr.
12 Eithr yr hyn yr wyf yn ei wneuthur,
a wnaf hefyd; [q] fel y torrwyf ymaith
achlysur oddi wrth y rhai sy yn ewyllysio
cael achlysur; fel yn yr hyn y maent yn
ymffrostio, y cair hwynt megis ninnau hefyd.
13 Canys y cyfryw gau-apostolion *sy*
weithwŷr twyllodrus, wedi ymrithio yn
apostolion i Grist.
14 Ac nid rhyfedd: canys y mae Satan
yntau yn ymrithio yn angel goleuni.
15 Gan hynny nid mawr *yw,* er ymrithio
ei weinidogion ef fel gweinidogion cyf-

[i] Esay 65. 16. Jer. 9. 24. 1 Cor. 1. 31.
[k] Diar. 27. 2.
[l] Rhuf. 2. 29.
[a] Pen. 5. 13. Adn. 16.
† *yr ydych yn cyd-ddwyn.*
[b] Gal. 4. 17, 18.
‡ Gr. *cymhwysais.*
[c] Col. 1. 28.
§ *presentio.*
[d] Lef. 21. 13.
[e] Gen. 3. 4. Ioan 8. 44.
[f] Gal. 1. 7, 8.
‖ *a mi.*
[g] 1 Cor. 15. 10. Pen. 12. 11.
[h] Gal. 2. 6.
[h] 1 Cor. 1. 17. a 2. 1, 13.
[i] Eph. 3. 4.
[k] Pen. 4. 2. a 5, 11. a 12. 12.
[l] 1 Cor. 9. 6, 12. Pen. 12. 1.
[m] Pen. 12. 13. 1 Thess. 2. 9. 2 Thess. 3. 8, 9.
[n] Phil. 4. 10, 15.
[o] Rhuf. 9. 1.
[p] 1 Cor. 9. 15.
[q] 1 Cor. 9. 12.

[r] Phil. 3. 19. jawnder, [r] y rhai y bydd eu diwedd yn ol
eu gweithredoedd.
[s] Pen. 12. 6. 16 [s] Trachefn meddaf, Na thybied neb
[†] Neu, *goddefwch.* fy mod i yn ffol: os amgen, etto † derbyn-
iwch fi fel ffol, fel y gallwyf finnau hefyd
ymffrostio ychydig.
[t] 1 Cor. 7. 6, 12. 17 Yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd, [t] nid
ydwyf yn ei ddywedyd yn ol yr Arglwydd,
eithr megis mewn ffolineb, yn hyn o fost
hyderus.
[u] Phil. 3. 3, 4. 18 [u] Gan fod llawer yn ymffrostio yn ol y
cnawd, minnau a ymffrostiaf hefyd.
19 Canys yr ydych yn goddef ffyliaid yn
llawen, gan fod *eich hunain* yn synhwyrol.
20 Canys yr ydych yn goddef, os bydd
un i'ch caethiwo, os bydd un i'*ch* llwyr-
fwytta, os bydd un yn cymmeryd *gennych*,
os bydd un yn ymddyrchafu, os bydd un
yn eich taro chwi ar *eich* wyneb.
21 Am ammharch yr ydwyf yn dywedyd,
[x] Pen. 10. 10. [x] megis pe buasem ni weiniaid: eithr ym
mha beth bynnag y mae neb yn hŷ (mewn
ffolineb yr wyf yn dywedyd) hŷ wyf finnau
hefyd.
[y] Act. 22. 3. 22 Ai Hebreaid ydynt hwy? [y] felly fin-
Rhuf. 11. 1. nau: ai Israeliaid ydynt hwy? felly finnau:
ai had Abraham ydynt hwy? felly fin-
Phil. 3. 5. nau.
23 Ai gweinidogion Crist ydynt hwy?
[z] 1 Cor. 15. 10. (yr ydwyf yn dywedyd yn ffol) [z] mwy *wyf*
fi; [a] mewn blinderau yn helaethach, mewn
[a] Act. 9. 16. a 21. 11. gwïalennodiau dros fesur, mewn carcha-
Pen. 6. 4. rau yn amlach, [b] mewn marwolaethau yn
[b] 1 Cor. 15. 31. fynych.
Pen. 1. 10. a 4. 11. 24 Gan yr Iuddewon bumwaith y derby-
niais [c] ddeugain *gwïalennod* ond un.
[c] Deut. 25. 3. 25 Tair gwaith [d] y'm curwyd â gwïail;
[e] unwaith y'm llabyddiwyd; teirgwaith [f] y
[d] Act. 16. 22. torrodd llong arnaf; noswaith a diwrnod y
bûm yn y dyfnfor;
[e] Act. 14. 19. 26 Mewn teithiau yn fynych; ym mhe-
ryglon llif-ddyfroedd; ym mheryglon llad-
[f] Act. 27. 41. ron; ym mheryglon gan *fy* nghenedl *fy hun*;
ym mheryglon gan y cenhedloedd; ym
mheryglon yn y ddinas; ym mheryglon yn
yr anialwch; ym mheryglon ar y môr; ym
mheryglon ym mhlith brodyr gau:
27 Mewn llafur a lludded; mewn anhu-
nedd yn fynych; mewn newyn a syched;
mewn ymprydiau yn fynych; mewn anwyd
a noethni.
28 Heb law y pethau *sy yn digwydd* oddi
allan, yr ymosod yr hwn *sydd arnaf* beu-
[g] Edrych Act. 20. 18, &c. nydd, [g] y gofal dros yr holl eglwysi.
29 [h] Pwy sy wan, nad wyf finnau wan?
[h] 1 Cor. 8. 13. a 9. 22. pwy a dramgwyddir, nad wyf finnau yn
llosgi?
[i] Pen. 12. 5. 30 Os rhaid ymffrostio, [i] mi a ymffros-
tiaf am y pethau sy yn perthyn i'm gwen-
did.
[k] Gal. 1. 20. 31 [k] Duw a Thad ein Harglwydd ni
Iesu Grist, yr hwn sydd fendigedig yn oes
oesoedd, a ŵyr nad wyf yn dywedyd cel-
wydd.
[l] Act. 9. 24. 32 [l] Yn Damascus, y llywydd dan Aretas
y brenhin a wyliodd ddinas y Damasciaid,
gan ewyllysio fy nal i:
33 A thrwy ffenestr mewn basged y'm
[‡] *dros y mur.* gollyngwyd ‡ ar hŷd y mur, ac y dïengais
o'i ddwylaw ef.

## PEN. XII.

1 *Er gallu o hono ef orfoleddu yn ei ddat-
guddiadau rhyfeddol, er mwyn gosod allan
ei apostoliaeth,* 9 *etto mae yn well gantho
orfoleddu yn ei wendid:* 11 *gan fwrw
bai arnynt hwy, am ei yrru ef i wag-fostio
fel hyn.* 14 *Mae efe yn addo dyfod attynt
hwy drachefn, ac er hynny trwy dadol
garedigrwydd,* 20 *er ei fod yn ofni y caiff
efe yno lawer o ddrwg-weithredwyr, ac
annhrefn cyffredinol.*

YMFFROSTIO yn ddïau nid yw fuddiol 60.
i mi: canys myfi a ddeuaf at weledigae-
thau a datguddiedigaethau yr Arglwydd.
2 Mi a adwaenwn ddyn yng Nghrist er 46
ys rhagor i bedair blynedd ar ddeg (pa un yn Lystra. Act. 14. 6.
ai yn y corph, ni wn; ai allan o'r corph, ni
wn i: Duw a ŵyr) y cyfryw un [a] a gipi- [a] Act. 22. 17.
wyd i fynu hyd y drydedd nef.
3 Ac mi a adwaenwn y cyfryw ddyn (pa
un ai yn y corph, ai allan o'r corph, ni wn i:
Duw a ŵyr)
4 Ei gipio ef i fynu i baradwys, ac iddo
glywed geiriau annhraethadwy, y rhai nid
yw † gyfreithlon i ddyn eu hadrodd. † *bosibl.*
5 Am y cyfryw *un* yr ymffrostiaf; [b] eithr [b] Pen. 11. 30.
am danaf fy hun nid ymffrostiaf, oddi eithr
yn fy ngwendid.
6 Canys [c] os ewyllysiaf ymffrostio, ni [c] Pen. 10. 8. a 11. 16.
byddaf ffol; canys mi a ddywedaf y gwir:
eithr yr wyf yn arbed, rhag i neb wneuthur
cyfrif o honof fi uwch law y mae yn gweled
fy mod, neu yn ei glywed gennyf.
7 Ac fel na'm tra-dyrchafer gan odidowg-
rwydd y datguddiedigaethau, rhoddwyd i
mi [d] swmbwl yn y cnawd, cennad Satan, i'm [d] Edrych Ezec. 28. 24.
cernodio, fel na'm tra-dyrchefid.
8 [e] Am y peth hwn mi attolygais i'r Ar- Gal. 4. 14.
glwydd deirgwaith, ar fod iddo ymadael â [e] Edrych Deut. 3. 23—27.
mi.
9 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Digon i
ti fy ngras i: canys fy nerth i a berffeithir
mewn gwendid. Yn llawen iawn gan hynny
yr ymffrostiaf fi yn hytrach yn fy ngwendid,
fel y preswylio nerth Crist ynof fi.
10 Am hynny yr wyf yn foddlawn mewn
gwendid, mewn ammharch, mewn anghe-
nion, mewn erlidiau, mewn cyfyngderau er
mwyn Crist: canys pan wyf wan, yna yr
wyf gadarn.
11 Mi a euthum yn [f] ffol wrth ym- [f] Pen. 11. 1.
ffrostio; chwychwi a'm ‡ gyrrasoch. Ca-
nys myfi a ddylaswn gael fy nghanmol ‡ *cymhellasoch.*
gennych chwi: canys [g] ni bûm i ddim yn [g] Pen. 11. 5.
ol i'r apostolion pennaf, er [h] nad ydwyf fi
ddim. [h] 1 Cor. 4. 9. a 15. 8, 9.
12 [i] Arwyddion apostol yn wir a weith-
redwyd yn eich plith chwi, mewn pob amy- Eph. 3. 8.
nedd, mewn arwyddion, a rhyfeddodau, a [i] 1 Cor. 9. 2.
gweithredoedd nerthol.
13 Canys beth yw yr hyn y buoch chwi Pen. 4. 2. a 6. 4. a 11. 6.
yn ol am dano, mwy na'r eglwysi eraill,
oddi eithr am [k] na bûm i fy hun or- [k] Pen. 11. 9.
mesol arnoch? maddeuwch i mi hyn o
gam.
14 [l] Wele, y drydedd waith yr wyf fi [l] Pen. 13. 1.
yn barod i ddyfod attoch: ac ni byddaf
ormesol arnoch: canys [m] nid ydwyf yn cei- [m] Act. 20. 33.
sio yr eiddoch chwi, ond chwychwi: canys
ni ddylai y plant gasglu trysor i'r rhïeni,
ond y rhïeni i'r plant.
15 A [n] myfi yn ewyllysgar iawn a [n] 1 Thess. 2. 8.
dreuliaf, ac a ymdreuliaf, [o] dros eich enei-
diau chwi, er [p] fy mod yn eich caru yn [o] Pen. 1. 6. Col. 1. 24.
helaethach, ac yn cael fy ngharu yn brin- 2 Tim. 2. 10.
nach.
16 Eithr bid, ni phwysais i arnoch: ond, [p] Pen. 6. 12, 13.
gan fod yn gyfrwys, mi a'ch daliais chwi
trwy ddichell.
17 [q] A wneuthum i elw o honoch chwi [q] Pen. 7. 2.
trwy neb o'r rhai a ddanfonais attoch?

18 [r] Mi a ddeisyfiais ar Titus, a chyd ag *ef* mi a anfonais frawd: a elwodd Titus ddim arnoch? onid yn yr un yspryd y rhodiasom? onid yn yr un llwybrau?

19 [s] Drachefn, a ydych chwi yn tybied mai ymesgusodi, yr ydym wrthych? [t] ger bron Duw yng Nghrist yr ydym yn llefaru; a phob peth, anwylyd, er adeiladaeth i chwi.

20 Canys ofni yr wyf, rhag pan ddelwyf, na'ch caffwyf yn gyfryw rai ag a fynnwn, [u] a'm cael innau i chwithau yn gyfryw ag ni's mynnech: rhag *bod* cynhennau, cynfigennau, llidiau, ymrysonau, † goganau, hustyngau, ymchwyddiadau, anghydfyddiaethau:

21 Rhag, pan ddelwyf drachefn, fod i'm Duw fy narostwng yn eich plith, ac i mi ddwyn galar dros lawer, y rhai a bechasant eisoes, ac nid edifarhasant am yr aflendid, a'r godineb, a'r anlladrwydd a wnaethant.

r Pen. 8. 6, 16. 18, 22. a 13. 14.
s Pen. 5. 12.
t Rhuf. 9. 1.
u 1 Cor. 4. 21. Pen. 10. 2. a 13. 2, 10.
† *absennau.*

## PEN. XIII.

*1 Y mae efe yn bygwth pechaduriaid diedifeiriol â thoster a gallu ei apostoliaeth: 5 a chan eu cynghori hwynt i brofi eu ffydd, 7 ac i ddiwygio eu beiau cyn ei ddyfod ef, 11 y mae efe yn diweddu ei epistol, trwy eu hannog hwy yn gyffredinol, a gweddïo.*

60. [a] Y Drydedd waith hon yr ydwyf yn dyfod attoch. [b] Yngenau dau neu dri o dystion y bydd safadwy pob gair.

2 [c] Rhag-ddywedais i chwi, ac yr ydwyf yn rhag-ddywedyd fel *pe bawn* yn bresennol yr ail waith, ac yn absennol yr awrhon yr ydwyf yn ysgrifenu at y rhai [d] a bechasant eisoes, ac at y lleill i gyd, os deuaf drachefn, [e] nad arbedaf:

3 Gan eich bod yn ceisio profiad o Grist [f] yr hwn sydd yn llefaru ynof, yr hwn tu ag attoch chwi nid yw wan, eithr sydd nerthol ynoch chwi.

a Pen. 12. 14.
b Deut. 17. 6. a 19. 15. Heb. 10. 28.
c Pen. 10. 2.
d Pen. 12. 21.
e Pen. 1. 23.
f Mat. 10. 20.

4 [g] Canys er ei groes-hoelio ef o ran gwendid, etto [h] byw ydyw trwy nerth Duw: canys [i] ninnau hefyd ydym weiniaid † ynddo ef, eithr byw fyddwn gyd ag ef trwy nerth Duw tu ag attoch chwi.

5 [k] Profwch chwychwi eich hunain, a ydych yn y ffydd; holwch eich hunain. Ai nid ydych yn eich adnabod eich hunain, *sef* bod Iesu Grist ynoch, oddi eithr i chwi fod yn anghymmeradwy?

6 Ond yr wyf yn gobeithio y gwybyddwch nad ydym ni yn anghymmeradwy.

7 Ac yr wyf yn gweddïo ar Dduw na wneloch chwi ddim drwg; nid fel yr ymddangosom ni yn gymmeradwy, ond fel y gwneloch chwi yr hyn sydd dda, er [l] bod o honom ni megis rhai anghymmeradwy.

8 Canys ni allwn ni ddim yn erbyn y gwirionedd, ond dros y gwirionedd.

9 Canys llawen ydym [m] pan fyddom ni yn weiniaid, a chwithau yn gryfion: a hyn hefyd yr ydym yn ei ddymuno, *sef* eich perffeithrwydd chwi.

10 [n] Am hynny myfi yn absennol ydwyf yn ysgrifenu 'r pethau hyn, fel pan fyddwyf bresennol nad arferwyf doster, [o] yn ol yr awdurdod a roddes yr Arglwydd i mi er adeilad, ac nid er dinystr.

11 Bellach, frodyr, byddwch ‡ wych. Byddwch berffaith, diddaner chwi, [p] synhiwch yr un peth, byddwch heddychol; a Duw y cariad a'r heddwch a fydd gyd â chwi.

12 [q] Annerchwch eich gilydd â chusan sanctaidd. Y mae 'r holl saint yn eich annerch chwi.

13 Gras ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a chymdeithas yr Yspryd Glân, *a fyddo* gyd â chwi oll. Amen.

¶ Yr ail at y Corinthiaid a 'sgrifenwyd o Philippi ym Macedonia, gyd â Thitus a Luc.

g Phil. 2. 7, 8. 1 Petr 3. 18.
h Rhuf. 6. 4.
i Pen. 10. 3, 4.
† *gyd ag ef.*
k 1 Cor. 11. 28.
l Pen. 6. 9.
m 1 Cor. 4. 10. Pen. 11. 30. a 12. 5, 9, 10.
n 1 Cor. 4. 21. Pen. 2. 3. a 10. 2. a 12. 20, 21.
o Pen. 10. 8.
‡ *iach.*
p Rhuf. 12. 16. 1 Cor. 1. 10. 1 Petr 3. 8.
q Rhuf. 16. 16. 1 Cor. 16. 20. 1 Thess. 5. 26. 1 Petr 5. 14.

# ¶ Epistol PAUL yr Apostol at y GALATIAID.

## PEN. I.

*6 Y mae efe yn rhyfeddu iddynt ei adael ef a'r efengyl cyn gynted; 8 ac yn melldithio y rhai a bregethant efengyl amgen nâ 'r hon a bregethai efe. 11 Nad gan ddynion y dysgodd efe yr efengyl, eithr gan Dduw. 13 Ac y mae efe yn dangos pa beth ydoedd efe cyn ei alw, 17 a pha beth a wnaeth efe yn y man wedi ei alw.*

Bl. yr Argl. 58.

PAUL apostol ([a] nid o ddynion, na thrwy ddyn, eithr [b] trwy Iesu Grist, a Duw Dad, [c] yr hwn a'i cyfododd ef o feirw)

2 A'r brodyr oll y rhai sy gyd â mi, at eglwysi Galatia.

3 [d] Gras *fyddo* i chwi a heddwch oddi wrth Dduw Dad, a'n Harglwydd Iesu Grist;

4 [e] Yr hwn a'i rhoddes ei hun dros ein pechodau, fel y'n gwaredai ni oddi wrth [f] y byd drwg presennol, yn ol ewyllys Duw a'n Tad ni:

5 I 'r hwn *y byddo* gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

6 Y mae yn rhyfedd gennyf eich symmud mor fuan oddi wrth yr hwn a'ch galwodd † i ras Crist, at efengyl arall:

7 [g] Yr hon nid yw arall; ond bod rhai [h] yn eich trallodi chwi, ac yn chwennych dattroi efengyl Grist.

a Adn. 11, 12.
b Tit. 1. 3.
c Act. 2. 24.
d Rhuf. 1. 7. 1 Cor. 1. 3. 2 Cor. 1. 2. Eph. 1. 2. Phil. 1. 2. Col. 1. 2. 1 Thess. 1. 1. 2 Thess. 1. 2.
e Tit. 2. 14.
f Esay 65. 17. Heb. 2. 5. a 6. 5. 1 Ioan 5. 19.

† *yngras.* g 2 Cor. 11. 4. h Act. 15. 1, 24. Pen. 5. 10, 12.

8 Eithr pe byddai [i] i ni, neu i angel o'r nef, efangylu i chwi amgen nâ 'r hyn a efangylasom i chwi, bydded ‡ anathema.

9 Megis y rhag-ddywedasom, felly yr ydwyf yr awrhon drachefn yn dywedyd, Os efangyla neb i chwi amgen [k] nâ 'r hyn a dderbyniasoch, bydded anathema.

10 Canys yr awrhon [l] ai § peri credu dynion yr wyf, ynte Duw? neu [m] a ydwyf fi yn ceisio rhyngu bodd dynion? canys pe rhyngwn fodd dynion etto, ni byddwn was i Grist.

11 Eithr yr ydwyf yn hyspysu i chwi, frodyr, *am* yr efengyl a bregethwyd gennyf fi, nad yw hi ‖ ddynol.

12 Canys [n] nid gan ddyn y derbyniais i hi, nac y'm dysgwyd; eithr [o] trwy ddatguddiad Iesu Grist.

13 Canys chwi a glywsoch [p] fy ymarweddiad i gynt yn y grefydd Iuddewig, i mi allan o fesur erlid eglwys Dduw, a'i hanrheithio hi;

14 Ac i mi gynnyddu yn y grefydd Iuddewig yn fwy nâ llawer o'm cyfoedion yn fy nghenedl fy hun, gan † fod yn fwy awyddus i draddodiadau fy nhadau.

15 Ond pan welodd Duw yn dda, [q] yr hwn a'm neillduodd i o groth fy mam, ac a'm galwodd i trwy ei ras,

16 [r] I ddatguddio ei fab ef ynof fi, fel [s] y pregethwn ef ym mhlith y cenhedl-

i 1 Cor. 16. 22.
‡ *felldigedig.*
k Deut. 4. 2. a 12. 32. Diar. 30. 6. Dat. 22. 18.
l 1 Thess. 2. 4.
§ *perswadio.*
m Iago 4. 4.
‖ *yn ol dyn.*
n 1 Cor. 15. 1, 3. Adn. 1.
o Eph. 3. 3.
p Act. 8. 3.
† *ddwyn sel yn fwy.*
q Rhuf. 1. 1.
r 2 Cor. 4. 6.
s Act. 9. 15. a 22. 21.

[t] Mat. 16. 17. Eph. 6. 12. oedd; yn y fan nid ymgynghorais â [t] chig
a gwaed.
† i fynu. 17 Ac nid aethum † yn fy ol i Jerusalem
at y rhai oedd o'm blaen i yn apostolion;
ond mi a aethum i Arabia, a thrachefn y
dychwelais i Ddamascus.
58. 18 Yna ar ol tair blynedd [u] y daethum
[u] Act. 9. 26. ‡ yn fy ol i Jerusalem i ymweled â Phetr;
ac a arhosais gyd ag ef bymtheng niwrnod.
‡ i fynu. 19 Eithr *neb* arall o'r apostolion ni's
[x] Marc 6. 3. gwelais, ond [x] Iago brawd yr Arglwydd.
20 A'r pethau yr wyf yn eu hysgrifenu
[y] Phil. 1. 8. attoch, [y] wele, ger bron Duw, nad wyf yn
dywedyd celwydd.
21 Wedi hynny y daethum i wledydd
Syria a Cilicia;
22 Ac yr oeddwn heb fy adnabod wrth
[z] Rhuf. 16. 7. *fy* wyneb yn eglwysi Judea y rhai [z] oedd
yng Nghrist:
23 Ond yn unig hwy a glywsent, fod yr
hwn oedd gynt yn ein herlid ni, yr awr-
hon yn pregethu y ffydd, yr hon gynt a an-
rheithiasai.
24 A hwy a ogoneddasant Dduw ynof fi.

## PEN. II.

1 *Y mae efe yn dangos pa bryd yr aeth efe i fynu i Jerusalem, ac i ba beth; 3 ac nad enwaedasid ar Titus; 11 a gwrthwynebu o hono ef Petr. 14 Paham y mae efe ac eraill, a hwythau yn Iuddewon, yn credu y cânt eu cyfiawnhâu yng Nghrist trwy ffydd, ac nid trwy weithredoedd; 20 ac na bo iddynt hwy, y rhai a gyfiawnhawyd felly, fyw mewn pechod.*

52. YNA wedi pedair blynedd ar ddeg yr
aethum drachefn i fynu i Jerusalem gyd
â Barnabas, gan gymmeryd Titus hefyd gyd
â mi.
2 Ac mi a aethum i fynu yn ol datguddiad,
ac a fynegais iddynt yr efengyl yr hon
yr wyf yn ei phregethu ym mhlith y Cen-
hedloedd; ond o'r neilldu i'r rhai cyfrifol,
[a] Phil. 2. 16. 1 Thess. 3. 5. rhag mewn un modd [a] fy mod yn rhedeg
yn ofer, neu ddarfod i mi redeg.
3 Eithr Titus, yr hwn oedd gyd â mi, er
ei fod yn Roegwr, ni chymhellwyd chwaith
i enwaedu arno:
[b] 2 Cor. 11. 26. 4 A hynny o herwydd [b] y gau-frodyr a ddy-
gasid i mewn, y rhai a ddaethant i mewn i
[c] Pen. 3. 25. a 4. 3. 17. yspio ein [c] rhyddid ni yr hon sydd gennym
yng Nghrist Iesu, fel y'n caethiwent ni:
5 I ba rai nid ymroisom trwy ddarostyng-
[d] Adn. 14. iad, nid do dros awr; fel yr arhosai [d] gwir-
[e] Act. 10. 34. ionedd yr efengyl gyd â chwi.
6 A chan y rhai a dybid eu bod yn rhyw
† *neu, oeddynt gynt.* beth, (pa fath gynt oeddynt, nid yw ddim i mi;
[e] nid yw Duw yn derbyn wyneb dyn) canys y
rhai † cyfrifol ni chwanegasant ddim i mi.
[f] Act. 13. 46. Rhuf. 11. 13. 7 Eithr yn y gwrthwyneb, [f] pan welsant
ddarfod ymddiried i mi am efengyl y dien-
waediad, megis am *efengyl* yr enwaediad i
Petr;
1 Tim. 2. 7. 2 Tim. 1. 11. 8 (Canys yr hwn oedd yn gweithredu yn
nerthol yn Petr i apostoliaeth yr enwaediad,
[g] Act. 9. 15. [g] a nerthol-weithredodd ynof finnau hefyd
tu ag at y Cenhedloedd)
9 A phan wybu Iago, a Cephas, ac Ioan,
[h] Mat. 16. 18. y rhai a dybid eu bod [h] yn golofnau, [i] y
gras a roddwyd i mi, hwy a roddasant i mi
[i] Rhuf. 1. 5. ac i Barnabas ddeheu-ddwylaw cymdeithas;
fel *yr elem* ni at y cenhedloedd, a hwythau
Eph. 3. 8. at yr enwaediad.
10 Yn unig ar fod i ni gofio'r tlodion;
[k] Act. 24. 17. [k] yr hyn hefyd y bûm i ddiwyd i'w wneu-
thur.

11 A phan ddaeth Petr i Antiochia, mi
a'i gwrthwynebais yn ei wyneb, am ei fod
i'w feio.
12 Oblegid cyn dyfod rhai oddi wrth
Iago, [l] efe a fwyttâodd gyd â'r Cenhedl- [l] Act. 10.
oedd: ond wedi iddynt ddyfod, efe a gil- 28. a 11. 3.
iodd, ac a'i neillduodd ei hun oddi wrthynt,
gan ofni y rhai oedd o'r enwaediad.
13 A'r Iuddewon eraill hefyd a gyd-rag-
rithiasant ag ef, yn gymmaint ag y dygwyd
Barnabas hefyd i'w rhagrith hwy.
14 Eithr pan welais i nad oeddynt yn
iawn droedio at [m] wirionedd yr efengyl, [m] Adn. 5.
mi a ddywedais wrth Petr [n] yn eu gŵydd [n] 1 Tim. 5.
*hwy* oll, [o] Os wyt ti, a thi yn Iuddew, yn 20.
byw fel y Cenhedloedd, ac nid fel yr Iu- [o] Act. 10.
ddewon, paham yr wyt ti yn cymmell y 28.
Cenhedloedd i fyw yn Iuddewaidd? [p] Act. 15. 10, 11.
15 Nyni, *y rhai* wrth naturiaeth *ydym*
[p] Iuddewon, ac nid o'r Cenhedloedd [q] yn [q] Eph. 2. 3, 12.
bechaduriaid,
16 [r] Yn gwybod nad ydys yn cyfiawnhâu [r] Act. 13. 38.
dyn trwy weithredoedd y ddeddf, ond [s] trwy [s] Rhuf. 1.
ffydd Iesu Grist, ninnau hefyd a gredasom 17. a 3. 22,
yng Nghrist Iesu, fel y'n cyfiawnhaer trwy 28. a 8. 3.
ffydd Grist, ac nid trwy weithredoedd y Heb. 7. 18, 19.
ddeddf: oblegid [t] ni chyfiawnheir un cnawd [t] Psal. 143. 2.
trwy weithredoedd y ddeddf. Rhuf. 3. 20.
17 Ac os wrth geisio ein cyfiawnhâu yng Pen. 3. 11.
Nghrist, y'n caed ninnau hefyd [u] yn bech- [u] 1 Ioan 3.
aduriaid, *a ydyw* Crist am hynny yn weini- 8, 9.
dog pechod? Na atto Duw. [x] Pen. 5. 1.
18 Canys os wyf fi yn adeiladu drachefn y [y] Rhuf. 6.
pethau a ddistrywiais, yr wyf yn fy ngwneu- 14. a 7. 4, 6.
thur fy hun yn droseddwr. [z] Rhuf. 6. 11.
19 Canys yr wyf fi [x] trwy y ddeddf [y] wedi 2 Cor. 5.
marw i'r ddeddf, fel y byddwn [z] fyw i 15.
Dduw. 1 Thess. 5. 10.
20 Mi [a] a groes-hoeliwyd gyd â Christ: 1 Petr 4. 2.
eithr byw ydwyf; etto nid myfi, ond Crist [a] Rhuf. 6.
sydd yn byw ynof fi: a'r hyn yr ydwyf yr 6.
awrhon yn ei fyw yn y cnawd, ei fyw yr Pen. 5. 24.
ydwyf trwy ffydd Mab Duw, [b] yr hwn a'm [b] Pen. 1. 4.
carodd, ac a'i rhoddes ei hun drosof fi. Eph. 5. 2. Tit. 2. 14.
21 Nid wyf yn dirymmu gras Duw: canys
[c] os o'r ddeddf *y mae* cyfiawnder, yna y bu [c] Heb. 7. 11.
Crist farw yn ofer.

## PEN. III.

1 *Mae efe yn gofyn pa beth a'u cynhyrfodd hwy i ymadael â'r ffydd, ac i lynu wrth y gyfraith. 6 Y rhai a gredant a gyfiawnheir, 9 ac a fendithir gyd ag Abraham: 10 a hyn y mae efe yn ei ddangos trwy lawer o resymmau.*

O Y Galatiaid ynfyd, [a] pwy a'ch † lly- 58.
gad-dynodd chwi fel nad ufuddhaech [a] Pen. 5. 7.
i'r gwirionedd, i ba rai o flaen eu llygaid
y portreiadwyd Iesu Grist, wedi ei groes- † *rheibiodd.*
hoelio yn eich plith?
2 Hyn yn unig a ewyllysiaf ei ddysgu
gennych; Ai wrth weithredoedd y ddeddf
y derbyniasoch [b] yr Yspryd, ynte wrth [b] Act. 2.
wrandawiad ffydd? 38. a 8. 15. a 15. 8.
3 A ydych chwi mor ynfyd? gwedi i Eph. 1. 13.
chwi ddechreu yn yr Yspryd, a berffeithir Heb. 6. 4.
chwi yr awrhon yn y cnawd? [c] 2 Ioan 8.
4 [c] A ddïoddefasoch gymmaint yn ofer?
os *yw* ofer hefyd.
5 Yr hwn gan hynny sydd yn trefnu i
chwi yr Yspryd, ac yn gwneuthur gwyrth-
iau yn eich plith, *ai* o weithredoedd y
ddeddf, neu o wrandawiad ffydd *y mae?* [d] Gen. 15.
6 Megis y credodd [d] Abraham i Dduw, 6.
ac y cyfrifwyd iddo yn gyfiawnder. Rhuf. 4. 3. Iago 2. 23.
7 Gwybyddwch felly mai [e] y rhai sy o [e] Rhuf. 4.
ffydd, y rhai hynny yw plant Abraham. 11, 12, 16.

f Rhuf. 9. 17. Adn. 22. 8 f A'r ysgrythyr yn rhag-weled mai trwy
ffydd y mae Duw yn cyfiawnhâu 'r cenhedl-
oedd, a rag-efangylodd i Abraham, *gan*
g Gen. 12. 3. a 18. 18. a 22. 18. *ddywedyd*, g Ynot ti y bendithir yr holl gen-
hedloedd.
Eccl. 44. 21. 9 Felly gan hynny, y rhai sy o ffydd a
Act. 3. 25. fendithir gyd ag Abraham ffyddlon.
10 Canys cynniter ag y sy o weithredoedd
y ddeddf, dan felldith y maent: canys ys-
h Deut. 27. 26. grifenwyd, h Melldigedig *yw* pob un nid yw
yn aros yn yr holl bethau a 'sgrifenir yn
llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt.
i Pen. 2. 16. 11 Ac i na chyfiawnheir neb trwy 'r
ddeddf ger bron Duw, eglur *yw*: oblegid,
k Heb. 10. 38. k Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd.
12 l A'r ddeddf nid yw o ffydd: eithr,
l Rhuf. 4. 4, 5. a 10. 5, 6. a 11. 6. m Y dyn a wna y pethau hynny, a fydd byw
ynddynt.
m Lef. 18. 5. 13 n Crist a'n llwyr-brynodd oddi wrth
felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn fell-
n Rhuf. 8. 3. dith trosom: canys y mae yn ysgrifenedig,
2 Cor. 5. 21. o Melldigedig *yw* pob un sydd ynghrôg ar
o Deut. 21. 23. bren:
14 Fel y delai bendith Abraham ar y
p Esay 32. 15. a 44. 3. Cenhedloedd, trwy Grist Iesu; fel y der-
Jer. 31. 33. bynniem p addewid yr Yspryd trwy ffydd.
a 32. 40. 15 Y brodyr, dywedyd yr wyf ar wedd
Ezec. 11. 19. a 36. 27. ddynol; q Cyd na byddo ond † ammod dyn,
Joel 2. 28, 29. wedi y cadarnhaer, nid yw neb yn ei ddi-
rymmu, neu yn rhoddi atto.
Zech. 12. 10. 16 r I Abraham y gwnaethpwyd yr
addewidion, ac i'w had ef. Nid yw yn
q Heb. 9. 17. dywedyd, Ac i'w hadau, megis am lawer;
† *testament.* ond megis am un, Ac i'th had di, yr hwn
r Gen. 17. 7. yw s Crist.
Adn. 8. 17 A hyn yr wyf yn ei ddywedyd, *am*
yr ammod a gadarnhawyd o'r blaen gan
s 1 Cor. 12. 12. Dduw yng Nghrist, nad yw y ddeddf t oedd
t Exod. 12. 40, 41. bedwar cant a deg ar hugain o flynyddoedd
wedi, yn ei ddirymmu, u i wneuthur yr
u Rhuf. 4. 14, 14. addewid yn ofer.
18 Canys x os o'r ddeddf *y mae* yr eti-
x Rhuf. 8. 17. feddiaeth, nid *yw* ‡ hayach o'r addewid:
ond Duw a'i rhad-roddodd i Abraham trwy
‡ *mwyach.* addewid.
y Ioan 15. 22. 19 Beth gan hynny *yw*'r ddeddf? y Oble-
Rhuf. 4. 15. a 5. 20. a 7, 8. gid troseddau y rhoddwyd hi yn ychwaneg,
hyd oni ddelai 'r had, i 'r hwn y gwnaethid
1 Tim. 1. 9. yr addewid; *a hi* z a drefnwyd trwy angy-
lion yn llaw a cyfryngwr.
z Act. 7. 53. 20 A chyfryngwr nid yw i un; ond Duw
sydd un.
a Deut. 5. 5. 21 *A ydyw* y ddeddf gan hynny yn er-
Ioan 1. 17. byn addewidion Duw? Na atto Duw: ca-
Act. 7. 38. nys pe rhoisid deddf a allasai fywhâu, yn
1 Tim. 2. 5. wir o'r ddeddf y buasai cyfiawnder.
b Rhuf. 3. 9, 19, 23. a 11. 32. 22 Eithr b cyd-gauodd c yr ysgrythyr
bob peth dan bechod, fel y rhoddid yr
c Adn. 8. addewid trwy ffydd Iesu Grist i'r rhai
sy 'n credu.
23 Eithr cyn dyfod ffydd, y'n cadwyd
d Rhuf. 10. 4. dan y ddeddf, wedi ein cyd-gau i 'r ffydd,
yr hon oedd i'w datguddio.
e Ioan 1. 12. 24 d Y ddeddf gan hynny oedd ein hathraw
ni at Grist, fel y'n cyfiawnhaid trwy ffydd.
Pen. 4. 5. 25 Eithr wedi dyfod ffydd, nid ydym
f Rhuf. 6. 3. mwyach dan athraw.
26 Canys chwi oll e ydych blant i Dduw
g Rhuf. 13. 14. trwy ffydd yng Nghrist Iesu.
h Rhuf. 10. 12. 27 Canys f cynnifer o honoch ag a fedydd-
iwyd yng Nghrist, g a wisgasoch Grist.
1 Cor. 12. 13. 28 h Nid oes nac Iuddew na Groegwr,
nid oes na chaeth na rhydd, nid oes na
i Eph. 2. 14, 15. gwrryw na benyw: canys chwi oll i un
ydych yng Nghrist Iesu.
k Gen. 21. 12. 29 Ac k os eiddo Crist *ydych*, yna had
Abraham ydych, ac l etifeddion yn ol yr l Eph. 3. 6.
addewid.

PEN. IV.

1 *Fin bod ni dan y ddeddf hyd ddyfodiad*
*Crist, fel y mae'r etifedd dan ei ymge-*
*leddwr nes ei ddyfod i'w oed: 5 eithr*
*darfod i Grist ein rhyddhâu ni oddi wrth*
*y ddeddf: 7 nad ydym ni gan hynny*
*weision iddi mwyach. 14 Y mae efe yn*
*cofio eu hewyllys da hwynt tu ag atto ef,*
*a'r eiddo yntau tu ag attynt hwythau;*
*22 ac yn dangos mai meibion i Abraham*
*ydym ni, o'r wraig rydd.*

A *Hon* yr wyf yn ei ddywedyd: dros gym- 58.
maint o amser ag y mae 'r etifedd yn
fachgen, nid oes dim rhagor rhyngddo a
gwas, er ei fod yn arglwydd ar y cwbl;
2 Eithr y mae efe dan ymgeleddwŷr a
llywodraethwŷr, hyd yr amser a osodwyd
gan y tad.
3 Felly ninnau hefyd, pan oeddym fech-
gyn, oeddym gaethion dan a wyddorion a Col. 2. 20.
y byd:
4 Ond b pan ddaeth cyflawnder yr am- b Marc 1. 15.
ser, y danfonodd Duw ei Fab, c wedi ei Eph. 1. 10.
wneuthur d o wraig, e wedi ei wneuthur dan c Ioan 1. 14.
y ddeddf;
5 Fel y prynai y rhai *oedd* dan y ddeddf, Rhuf. 1. 3.
f fel y derbyniem y mabwysiad. Phil. 2. 7.
6 Ac o herwydd eich bod yn feibion, d Gen. 3. 15.
yr anfonodd Duw g Yspryd ei Fab i'ch ca- e Mat. 5. 17.
lonnau chwi, yn llefain, Abba, Dad.
7 Felly nid wyt ti mwy yn was, ond yn f Ioan 1. 12.
fab; h ac os mab, etifedd hefyd i Dduw Pen. 3. 26.
trwy Grist. Eph. 1. 5.
8 Eithr y pryd hynny, pan oeddych heb g Rhuf. 8. 15.
adnabod Duw, i chwi a wasanaethasoch y
rhai wrth naturiaeth nid ydynt dduwiau. h Rhuf. 8. 16, 17.
9 Ac yn awr, k a chwi yn adnabod Duw,
ond yn hytrach yn adnabyddus gan Dduw, i 1 Cor. 12. 2.
l pa fodd yr ydych yn troi † drachefn at Eph. 2. 11, 12.
m yr egwyddorion llesg a thlodion, y rhai
yr ydych yn chwennych drachefn o ne- k 1 Cor. 8. 3. a 13. 12.
wydd eu gwasanaethu?
10 n Cadw yr ydych ddiwrnodiau, a mis- l Col. 2. 20.
oedd, ac amseroedd, a blynyddoedd. † *yn ol.*
11 Y mae arnaf ofn am danoch, rhag m Heb. 7. 18.
darfod i mi boeni wrthych yn ofer.
12 Byddwch fel fyfi, canys *yr wyf* fi fel n Rhuf. 14. 5.
chwi, y brodyr, attolwg i chwi: o ni wnaeth- Col. 2. 16.
och i mi ddim cam. o 2 Cor. 2. 5.
13 A chwi a wyddoch mai p trwy wendid
y cnawd yr efangylais i chwi y waith gyntaf. p 1 Cor. 2. 3.
14 A'm profedigaeth, yr hon *oedd* yn fy 2 Cor. 11. 30.
nghnawd, ni ddïystyrasoch, ac ni ddirmyg-
asoch; eithr chwi a'm derbyniasoch q megis q Mal. 2. 7.
angel Duw, r megis Crist Iesu. Zech. 12. 8.
15 Beth wrth hynny oedd eich dedwydd- r Mat. 10. 40.
wch chwi? canys tystio yr wyf i chwi, pe Ioan 13. 20.
*buasai* bosibl, y tynnasech eich llygaid, ac 1 Thess. 2. 13.
a'i rhoisech i mi.
16 A aethum i gan hynny yn elyn i chwi,
wrth ddywedyd i chwi y gwir?
17 Y maent yn rhoi s mawr-serch arnoch, s Rhuf. 10. 2.
*ond* nid yn dda; eithr chwennych y maent 2 Cor. 11. 2.
‡ eich cau chwi allan, fel y rhoddoch fawr-
serch arnynt hwy. ‡ *ein cau ni.*
18 Eithr da *yw* dwyn mawr-serch mewn
peth da yn wastadol, ac nid yn unig tra
fyddwyf bresennol gyd â chwi.
19 t Fy mhlant bychain, y rhai yr wyf t 1 Cor. 4. 15.
yn eu hesgor drachefn, hyd oni ffurfier Crist Philem. 10.
ynoch, Iago 1. 18.
20 Ac mi a fynnwn pe bawn yn awr gyd
â chwi, a newidio fy llais; o herwydd yr § *am da-*
wyf yn ammeu § o honoch. *noch.*

21 Dywedwch i mi, y rhai ydych yn chwennych bod dan y ddeddf, onid ydych chwi yn clywed y ddeddf?

22 Canys y mae yn ysgrifenedig, fod i Abraham ddau fab; [u] un o'r wasanaeth-ferch, ac [x] un o'r *wraig* rydd.

23 Eithr yr hwn *oedd* o'r wasanaeth-ferch, [y] a aned yn ol y cnawd; a'r hwn *oedd* o'r *wraig* rydd, trwy'r addewid.

24 Yr hyn bethau ydynt mewn † alegori: canys y rhai hyn yw y ddau ‡ destament; un yn ddïau o fynydd Sina, yn cenhedlu i gaethiwed, yr hon yw Agar:

25 Canys yr Agar yma yw mynydd Sina yn Arabia, ac y mae yn cyfatteb i'r Jerusalem *sydd* yn awr, ac y mae yn gaeth *hi* a'i phlant.

26 Eithr [z] y Jerusalem honno uchod sydd rydd, yr hon yw ein mam ni oll.

27 Canys ysgrifenedig yw, [a] Llawenhâ, di yr amhlantadwy, yr hon nid wyt yn eppilio; tor allan a llefa, yr hon nid wyt yn esgor: canys i'r § unig y mae llawer mwy o blant nag i'r hon y mae iddi wr.

28 A ninnau, frodyr, megis *yr oedd* Isaac, ydym [b] blant yr addewid.

29 Eithr megis y pryd hynny, [c] yr hwn a anwyd yn ol y cnawd a erlidiai yr hwn *a anwyd* yn ol yr Yspryd, felly yr awrhon hefyd.

30 Ond beth y mae'r [d] ysgrythyr yn ei ddywedyd? [e] Bwrw allan y wasanaeth-ferch, a'i mab: canys [f] ni chaiff mab y wasanaeth-ferch etifeddu gyd â mab y *wraig* rydd.

31 Felly, frodyr, nid plant i'r wasanaeth-ferch ydym, ond i'r *wraig* rydd.

## PEN. V.

1 *Y mae efe yn eu hannog hwy i sefyll yn eu rhyddid,* 3 *ac nad arferont enwaediad;* 13 *eithr yn hytrach cariad, yr hwn yw cyflawnder y gyfraith.* 19 *Y mae efe yn rhifo gweithredoedd y cnawd,* 22 *a ffrwythau'r Yspryd;* 25 *ac yn eu hannog i rodio yn yr Yspryd.*

58. SEFWCH gan hynny yn [a] y rhyddid â'r hon y rhyddhaodd Crist ni; ac na ddalier chwi drachefn [b] dan iau caethiwed.

2 Wele, myfi Paul wyf yn dywedyd wrthych, [c] Os enwaedir chwi, ni lesâ Crist ddim i chwi.

3 Ac yr wyf yn tystiolaethu drachefn i bob dyn a'r a enwaedir, ei fod ef yn ddyledwr i † gadw yr holl ddeddf.

4 Chwi a aethoch yn ddifudd oddi wrth Grist, y rhai ydych yn ymgyfiawnhau yn y ddeddf: chwi a syrthiasoch ymaith oddi wrth ras.

5 Canys nyni yn yr Yspryd trwy ffydd ydym yn disgwyl [d] gobaith cyfiawnder.

6 Canys [e] yng Nghrist Iesu ni all enwaediad ddim, na dienwaediad; ond [f] ffydd yn gweithio trwy gariad.

7 Chwi [g] a redasoch yn dda; [h] pwy a'ch ‡ rhwystrodd chwi, fel nad ufuddhaech i'r gwirionedd?

8 Y cyngor *hwn* nid *yw* oddi wrth yr hwn [i] sydd yn eich galw chwi.

9 [k] Y mae ychydig lefain yn lefeinio'r holl does.

10 [l] Y mae gennyf fi hyder am danoch yn yr Arglwydd, na syniwch chwi ddim arall: ond [m] y neb sydd yn eich trallodi a ddwg farnedigaeth, pwy bynnag fyddo.

u Gen. 16. 15.
x Gen. 21. 2.
Heb. 11. 11.
y Rhuf. 9. 7, 8.
† cyffelybiaeth.
‡ gyfammod.
z Esay 2. 2.
Heb. 12. 22.
Dat. 3. 12.
a 21. 2, 10.
a Esay 54. 1.
§ ymddifad.
b Rhuf. 9. 8.
c Gen. 21. 9.
d Pen. 3. 8, 22.
e Gen. 21. 10, 12.
f Ioan 8. 35.
a Ioan 8. 32.
Rhuf. 6. 18.
b Act. 15. 10.
Pen. 2. 4.
c Act. 15. 1. a 16. 3.
† wneuthur.
d 2 Tim. 4. 8.
e 1 Cor. 7. 19.
Pen. 6. 15.
Col. 3. 11.
f 1 Thess. 1. 3.
g 1 Cor. 9. 24.
h Pen. 3. 1.
‡ gyrrodd yn ol.
i Pen. 1. 6.
k 1 Cor. 5. 6.
l 2 Cor. 2. 3. a 8. 22.
m Pen. 1. 7.

11 A myfi, frodyr, os yr enwaediad etto yr wyf yn ei bregethu, [n] paham y'm herlidir etto? yn wir tynnwyd ymaith [o] dramgwydd y groes.

12 [p] Mi a fynnwn, ïe, pe torrid ymaith y rhai sy yn aflonyddu arnoch.

13 Canys i ryddid y'ch galwyd chwi, frodyr: yn unig [q] nac *arferwch* y rhyddid yn achlysur i'r cnawd, ond [r] trwy gariad gwasanaethwch eich gilydd.

14 Canys [s] yr holl ddeddf a gyflawnir mewn un gair, *sef* yn hwn; [t] Câr dy gymmydog fel ti dy hun.

15 Ond os § cnoi a thraflyngcu eich gilydd yr ydych, gwyliwch na ddifethir chwi gan eich gilydd.

16 Ac yr wyf yn dywedyd, [u] Rhodiwch yn yr Yspryd, ac ‖ na chyflawnwch drachwant y cnawd.

17 Canys y mae'r † cnawd yn chwennychu yn erbyn yr Yspryd, a'r Yspryd yn erbyn y cnawd: a'r rhai hyn a wrthwynebant eu gilydd, [x] fel na alloch wneuthur beth bynnag a ewyllysioch.

18 Ond [y] os gan yr Yspryd y'ch arweinir, nid ydych dan y ddeddf.

19 Hefyd [z] amlwg yw gweithredoedd y cnawd; y rhai yw, Tor-priodas, godineb, aflendid, anlladrwydd,

20 Delw-addoliaeth, swyn-gyfaredd, ‡ casineb, cynhennau, gwynfydau, llid, ymrysonau, ymbleidio, heresiau,

21 Cynfigennau, llofruddiaeth, meddwdod, cyfeddach, a chyffelyb i'r rhai hyn: am y rhai yr wyf fi yn rhag-ddywedyd wrthych, megis ag y rhag-ddywedais, [a] na chaiff y rhai sy'n gwneuthur y cyfryw bethau etifeddu teyrnas Dduw.

22 Eithr [b] ffrwyth yr Yspryd yw, Cariad, llawenydd, tangnefedd, hir-ymaros, cymmwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, § dirwest:

23 [c] Yn erbyn y cyfryw nid oes ddeddf.

24 A'r rhai *sydd* yn eiddo Crist, [d] a groes-hoeliasant y cnawd, a'i wŷniau, a'i chwantau.

25 [e] Os byw yr ydym yn yr Yspryd, rhodiwn hefyd yn yr Yspryd.

26 [f] Na fyddwn wag-ogoneddgar, gan ymannog ein gilydd, gan ymgynfigennu wrth ein gilydd.

## PEN. VI.

1 *Y mae efe yn eu hannog hwy i ymddwyn yn llariaidd tu ag at frawd a lithrodd;* 2 *ac i ddwyn bob un faich ei gilydd:* 6 *i fod yn hael tu ag at eu dysgawdwyr;* 9 *ac na ddiffygiont yn gwneuthur da.* 12 *Y mae efe yn dangos pa beth yw amcan y rhai sy'n pregethu'r enwaediad.* 14 *Nad yw efe yn gorfoleddu mewn dim, ond ynghrôes Crist.*

58. Y Brodyr, [a] os goddiweddir dyn ar ryw fai, chwychwi [b] y rhai ysprydol, adgyweiriwch y cyfryw un mewn yspryd addfwynder; gan dy ystyried dy hun, rhag dy demtio dithau.

2 Dygwch feichiau eich gilydd, ac felly cyflawnwch [c] gyfraith Crist.

3 Oblegid [d] os tybia neb ei fod yn rhyw beth, ac yntau heb fod yn ddim, y mae efe yn ei † dwyllo ei hun.

4 Eithr [e] profed pob un ei waith ei hun; ac yna y caiff orfoledd ynddo ei hun yn unig, ac [f] nid mewn arall.

5 Canys [g] pob un a ddwg ei faich ei hun.

n 1 Cor. 15. 30.
o 1 Cor. 1. 23.
p Jos. 7. 25.
1 Cor. 5. 13.
q 1 Cor. 18. 9.
1 Petr 2. 16.
2 Petr 2. 19.
Judas 4, 9.
r 1 Cor. 9. 19.
Pen. 6. 2.
s Mat. 7. 12.
Iago 2. 8.
t Lef. 19. 18.
Mat. 22. 37, 39.
Rhuf. 13. 8, 9.
§ brathu.
u Rhuf. 6. 12.
‖ nid.
† Rhuf. 7. 23. a 8. 6, 7.
x Rhuf. 7. 15, 19.
y Rhuf. 6. 14. a 8. 2.
z 1 Cor. 3. 3.
Eph. 5. 3.
Col. 3. 5.
Iago 3. 14.
‡ gelyniaeth.
a 1 Cor. 6. 9.
Eph. 5. 5.
Col. 3. 6.
Dat. 22. 15.
b Ioan 15. 2.
Eph. 5. 9.
§ gymmedrolrwydd.
c 1 Tim. 1. 9.
d Rhuf. 6. 6.
Pen. 2. 20.
e Rhuf. 5. 5.
f Phil. 2. 3.
a Rhuf. 14. 1. a 15. 1.
b 1 Cor. 2. 15. a 3. 1.
c Ioan 13. 34. a 15. 12.
d 1 Cor. 8. 2.
Pen. 2. 6.
† Gr. feddwl-dwyllo.
e 1 Cor. 11. 28.
f Edrych Luc 18. 11.
g 1 Cor. 3. 8.

6 A [h] chyfranned yr hwn a ddysgwyd yn
y gair, â'r hwn sydd yn ei ddysgu, ym
mhob peth da.
7 [i] Na thwyller chwi. Ni watworir
Duw: canys [k] beth bynnag a hauo dyn,
hynny hefyd a fed efe.
8 Oblegid [l] yr hwn sydd yn hau i'w
gnawd ei hun, o'r cnawd a fed lygredig-
aeth: eithr yr hwn sydd yn hau i'r Yspryd,
o'r Yspryd a fed fywyd tragywyddol.
9 Eithr [m] yn gwneuthur daioni na ddi-
ogwn: canys yn ei iawn bryd y medwn,
[n] oni ddiffygiwn.
10 Am [o] hynny tra'r ydym yn cael am-
ser cyfaddas, gwnawn dda i bawb, ond yn
enwedig i'r rhai sy o [p] deulu'r ffydd.
11 Gwelwch cyhyd y llythyr a 'sgrifenais
attoch â'm llaw fy hun.
12 Cynnifer ag sy yn ewyllysio ymdeccâu
yn y cnawd, y rhai hyn sy yn eich cymmell
i'ch enwaedu; [q] yn unig fel nad erlidier
hwy oblegid croes Crist.

[h] 1 Cor. 9. 11, 14. [i] 1 Cor. 6. 9. [k] Luc 16. 25. Rhuf. 2. 6. 2 Cor. 9. 6. Job 4. 8. [l] Rhuf. 8. 13. [m] 2 Thess. 3. 13. [n] Heb. 12. 3, 5. [o] Ioan 12. 35. 1 Thess 5. 15. [p] Eph. 2. 19. [q] Phil. 3. 18.

13 Canys nid yw y rhai a enwaedir, eu
hunain yn cadw'r ddeddf; ond ewyllysio y
maent enwaedu arnoch chwi, fel † y gor-
foleddont yn eich cnawd chwi.
14 Eithr na atto Duw i mi ymffrostio ond
ynghrôes ein Harglwydd Iesu Grist, trwy
‡ yr hwn [r] y croes-hoeliwyd y byd i mi, a
minnau i'r byd.
15 Canys [s] yng Nghrist Iesu ni ddichon
enwaediad ddim, na dïenwaediad, ond
[t] creadur newydd.
16 [u] A chynnifer ag a rodiant yn ol y
rheol hon, tangnefedd arnynt a thrugaredd,
ac ar [x] Israel Duw.
17 O hyn allan na flined neb fi: canys
[y] dwyn yr wyf fi yn fy nghorph nodau'r
Arglwydd Iesu.
18 Gras ein Arglwydd Iesu Grist *a fyddo*
gyd â'ch yspryd chwi, frodyr. Amen.

¶ At y Galatiaid yr ysgrifenwyd o
Rufain.

† *yr ymffrostiont.* ‡ *ba un y.* [r] Rhuf. 6. 6. Pen. 2. 20. [s] 1 Cor. 7. 19. Pen. 5. 6. Col. 3. 11. [t] 2 Cor. 5. 17. [u] Psal. 125. 5. [x] Rhuf. 2. 29. a 4. 12. Pen. 3. 9, 29. Phil. 3. 3. [y] 2 Cor. 4. 10.

---

# ¶ Epistol PAUL yr Apostol at yr EPHESIAID.

## PEN. I.

1 *Ar ol cyfarch yr Ephesiaid,* 3 *a diolch drostynt,* 4 *y mae efe yn crybwyll am ein hetholedigaeth ni,* 6 *a'n mabwysiad trwy ras,* 11 *yr hyn yw gwir ffynnon iachawdwriaeth dyn:* 13 *ac am na ellir yn hawdd gyrhaeddyd uchder y dirgelwch hwn,* 16 *y mae efe yn gweddïo ar iddynt ddyfod* 18 *i gyflawn wybodaeth,* 20 *a meddiant o hono yng Nghrist.*

Bl. yr Argl. 64.

PAUL, apostol Iesu Grist trwy ewyllys
Duw, [a] at y saint sydd yn Ephesus, a'r
ffyddloniaid yng Nghrist Iesu.
2 [b] Gras *fyddo* i chwi, a thangnefedd
oddi wrth Dduw ein Tad, a'r Arglwydd
Iesu Grist.
3 [c] Bendigedig *fyddo* Duw a Thad ein
Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a'n ben-
dithiodd ni â phob bendith ysprydol yn y
nefolion † *leoedd* yng Nghrist:
4 Megis [d] yr etholodd efe ni ynddo ef
cyn seiliad y byd, fel [e] y byddem yn sanct-
aidd ac yn ddifeius ger ei fron ef mewn
cariad:
5 [f] Wedi iddo ein rhag-luniaethu ni [g] i
fabwysiad trwy Iesu Grist iddo ei hun, yn
ol boddlonrwydd ei ewyllys ef,
6 Er mawl gogoniant ei ras ef, trwy yr
hwn ‡ y gwnaeth ni yn gymmeradwy yn
[h] yr Anwylyd:
7 [i] Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth
trwy ei waed ef, *sef* maddeuant pechodau,
yn ol [k] cyfoeth ei ras ef;
8 Trwy yr hwn y bu efe helaeth i ni ym
mhob doethineb a deall,
9 [l] Gwedi iddo hyspysu i ni ddirgelwch
ei ewyllys, yn ol ei foddlonrwydd ei hun,
yr hon a arfaethasai efe ynddo ei hun:
10 § Fel yngoruchwyliaeth [m] cyflawn-
der yr amseroedd, y gallai grynhôi ynghŷd
yng Nghrist [n] yr holl bethau sydd yn y ne-
foedd, ac ar y ddaear, ynddo ef:
11 Yn yr hwn ‖ y'n [o] dewiswyd hefyd,
wedi ein rhag-luniaethu yn ol arfaeth yr hwn
sydd yn gweithio pob peth wrth gyngor ei
ewyllys ei hun:
12 Fel y byddem ni er mawl i'w ogon-

‖ Neu, *y cawsom etifeddiaeth.* [o] Act. 26. 18. Col. 1. 12.

[a] Rhuf. 1. 7. 2 Cor. 1. 1. [b] 1 Petr 1. 3. [c] 2 Cor. 1. 3. † bethau, Pen. 6. 12. [d] 2 Tim. 1. 9. [e] Col. 1. 22. [f] Rhuf. 8. 29, 30. [g] Rhuf. 8. 15. Gal. 4. 5. ‡ Neu, *y rhadgarodd ni.* [h] Mat. 3. 17. [i] Act. 20. 28. [k] Rhuf. 9. 23. Pen. 2. 7. a 3. 8, 16. Phil. 4. 19. [l] Rhuf. 16. 25. § *Hyd lywodraeth cyflawnder yr amseroedd i grynhôi, &c.* [m] Gal. 4. 4. Heb. 1. 2. 1 Petr 1. 20. [n] Col. 1. 20.

iant ef, y rhai o'r blaen a † obeithiasom
yng Nghrist.
13 Yn yr hwn *y gobeithiasoch* chwithau
hefyd, wedi i chwi glywed gair y gwir-
ionedd, efengyl eich iachawdwriaeth: yn
yr hwn hefyd, wedi i chwi gredu, [p] y'ch
seliwyd trwy Lân Yspryd yr addewid;
14 [q] Yr hwn yw ‡ ernes ein hetifedd-
iaeth ni, hyd [r] bryniad § y pwrcas, i fawl
ei ogoniant ef.
15 O herwydd hyn minnau hefyd, [s] wedi
clywed eich ffydd yn yr Arglwydd Iesu,
a'ch cariad tu ag at yr holl saint,
16 [t] Nid wyf yn peidio â diolch drosoch,
gan wneuthur coffa am danoch yn fy ngwe-
ddïau;
17 Ar [u] i Dduw ein Harglwydd Iesu
Grist, Tad y gogoniant, roddi i chwi Ys-
pryd doethineb a datguddiad, trwy ei ad-
nabod ef:
18 Wedi goleuo llygaid eich meddyliau;
fel y gwypoch beth yw gobaith ei alwedig-
aeth ef, a pheth *yw* golud gogoniant ei eti-
feddiaeth ef yn y saint,
19 A pheth *yw* rhagorol fawredd ei nerth
ef tu ag attom ni y rhai ŷm yn credu, [x] yn
ol gweithrediad ‖ nerth ei gadernid ef;
20 Yr hon a weithredodd efe yng Nghrist,
pan [y] y cyfododd ef o feirw, ac [z] a'i gosod-
odd i eistedd ar ei ddeheu-law ei hun yn y
nefolion *leoedd*,
21 [a] Goruwch pob [b] tywysogaeth, ac
awdurdod, a gallu, ac arglwyddiaeth, a phob
enw a enwir, nid yn unig yn y byd hwn,
ond hefyd yn yr hwn a ddaw:
22 Ac [c] a ddarostyngodd bob peth dan ei
draed ef, ac a'i rhoddes ef [d] yn ben uwch
law pob peth i'r eglwys,
23 [e] Yr hon yw ei gorph ef, ei gyflawn-
der ef, [f] yr hwn sydd yn cyflawni oll yn oll.

† *ymddiriedasom.* [p] 2 Cor. 1, 22. Pen. 4. 30. [q] 2 Cor. 5. 5. ‡ *gwystl.* [r] Luc 21. 28. Rhuf. 8. 23. Pen. 4. 30. § *y meddiant a bwrcaswyd.* [s] Col. 1. 4. Philem. 5. [t] Rhuf. 1. 9. Phil. 1. 3, 4. 1 Thess. 1. 2. 2 Thess. 1. 3. [u] Ioan 20. 17. [x] Pen. 3. 7. Col. 2. 12. ‖ *ei nerthol gadernid ef.* [y] Act. 2. 24. [z] Psal. 110. 1. [a] Phil. 2. 9, 10. Col. 2. 10. [b] Rhuf. 8. 38. Col. 1. 16. a 2. 15. [c] Psal. 8. 6. 1 Cor. 15. 27. Heb. 2. 8.

[d] Pen. 4. 15, 16. [e] Rhuf. 12. 5. 1 Cor. 12. 27. Pen. 4. 12. a 5. 23, 30. Col. 1. 18. [f] 1 Cor. 12. 6. Pen. 4. 10. Col. 3. 11.

## PEN. II.

1 *Trwy gyffelybu yr hyn oeddym ni wrth* 3 *naturiaeth, â'r hyn ydym ni* 5 *trwy ras,* 10 *y mae efe yn dangos ddarfod ein creu ni i weithredoedd da;* 13 *a chan ein bod ni wedi ein dwyn yn agos trwy*

*Grist, na ddylem ni fyw megis 11 Cenhedloedd, ac 12 estroniaid gynt; ond megis 19 cyd-ddinasyddion â'r saint, a theulu Duw.*

64.
A [a] Chwithau *a fywhaodd efe*, pan oedd-
ych feirw mewn camweddau a phech-
odau;
2 [b] Yn y rhai y rhodiasoch gynt yn ol
helynt y byd hwn, yn ol [c] tywysog llywod-
raeth yr awyr, yr yspryd sydd yr awrhon yn
gweithio [d] ym mhlant anufudd-dod.
3 [e] Ym mysg y rhai hefyd y bu ein hym-
arweddiad ni oll gynt, yn chwantau ein
cnawd, gan wneuthur ewyllysiau y cnawd,
a'r meddyliau; ac [f] yr oeddym ni wrth na-
turiaeth yn blant digofaint, megis eraill.
4 Eithr Duw, [g] yr hwn sydd gyfoethog o
drugaredd, oherwydd ei fawr gariad trwy yr
hwn y carodd efe ni,
5 [h] Ie, pan oeddym feirw mewn camwedd-
au, a'n [i] cyd-fywhaodd ni gyd â Christ,
(† trwy ras ‡ yr ydych yn gadwedig)
6 Ac a'n cyd-gyfododd, ac a'n gosododd i
gyd-eistedd yn y nefolion *leoedd* yng Nghrist
Iesu:
7 Fel y gallai ddangos yn yr oesoedd a
ddelai, ragorol olud ei ras ef, trwy *ei* gym-
mwynasgarwch i ni yng Nghrist Iesu.
8 Canys trwy ras yr ydych yn gadwedig,
[k] trwy ffydd; a hynny nid o honoch eich
hunain: [l] rhodd Duw *ydyw*:
9 [m] Nid o weithredoedd, fel nad ym-
ffrostiai neb:
10 Canys [n] ei waith ef ydym, wedi ein
creu yng Nghrist Iesu i weithredoedd da,
y rhai a rag-ddarparodd Duw, fel y rhodiem
ni ynddynt.
11 Am hynny [o] cofiwch, a chwi gynt yn
Genhedloedd yn y cnawd, y rhai a elwid yn
ddienwaediad, gan yr hyn a elwir enwaed-
iad o waith llaw yn y cnawd;
12 Eich bod chwi y pryd hwnnw heb
Grist, [p] wedi eich dieithrio oddi wrth wlad-
wriaeth Israel, ac yn estroniaid oddi wrth
[q] ammodau yr addewid, heb obaith gennych,
ac heb Dduw yn y byd:
13 Eithr yr awrhon yng Nghrist Iesu,
chwychwi, y rhai oeddych gynt ym mhell, a
wnaethpwyd yn agos trwy waed Crist.
14 Canys [r] efe yw ein tangnefedd ni, [s] yr
hwn a wnaeth y ddau yn un, ac a ddat-
tododd ganol-fur y gwahaniaeth rhyngom
ni;
15 [t] Ac a ddirymmodd trwy ei gnawd
ei hun y gelyniaeth, *sef* deddf y gorchy-
mynion mewn ordeiniadau, fel y creai y
ddau ynddo ei hun yn un dyn [u] newydd,
gan wneuthur heddwch;
16 Ac fel y cymmodai y ddau â Duw
† yn un corph trwy'r groes, [x] wedi lladd y
gelyniaeth ‖ trwyddi hi.
17 Ac efe a ddaeth ac [y] a bregethodd
dangnefedd i chwi y rhai pell, ac [z] i'r rhai
agos.
18 Oblegid [a] trwyddo ef y mae i ni ein
dau ddyfodfa mewn un Yspryd at y Tad.
19 Weithian gan hynny nid ydych chwi
mwyach yn ddieithriaid a dyfodiaid, ond
[b] yn gyd-ddinasyddion â'r saint, ac [c] yn
deulu Duw;
20 Wedi eich [d] goruwch adeiladu [e] ar sail
yr apostolion a'r prophwydi, ac Iesu Grist
ei hun [f] yn ben congl-*faen*.
21 [g] Yn yr hwn y mae yr holl adeilad
wedi ei chymmwys gyd-gyssylltu, yn cyn-
nyddu [h] yn deml sanctaidd yn yr Ar-
glwydd:
22 [i] Yn yr hwn y'ch cyd-adeiladwyd
chwithau yn breswylfod i Dduw trwy yr
Yspryd.

[a] Col. 2. 13. [b] 1 Cor. 6. 11. [c] Pen. 6. 12. [d] Pen. 5. 6. Col. 3. 6. [e] Tit. 3. 3. [f] Psal. 51. 5. Rhuf. 5. 12, 14. [g] Rhuf. 10. 12. [h] Rhuf. 5. 6, 8, 10. [i] Rhuf. 6. 4, 5. Col. 2. 12, 13. a 3. 1. † [illegible] [k] Act. 15. 11. Tit. 3. 5. ‡ [illegible] [k] Rhuf. 4. 16. [l] Mat. 16. 17. Rhuf. 10. 14, 15, 17. Pen. 1. 19. [m] Rhuf. 3. 20, 26, 27. a 4. 2. a 9. 11. a 11. 6. [n] Psal. 100. 3. Esay 19. 25. a 29. 23. Ioan 3. 3, 5. 2 Cor. 5. 5, 17. [o] 1 Cor. 12. 2. Pen. 5. 8. Col. 1. 21. [p] Ezec. 13. 9. [q] Rhuf. 9. 4, 8. [r] Michah 5. 5. Ioan 16. 33. Act. 10. 36. [s] Ioan 10. 16. Gal. 3. 28. [t] Col. 2. 14. [u] 2 Cor. 5. 17. Gal 6. 15. § Col. 1. 22. [x] Rhuf. 6. 6. a 8. 3. Col. 2. 14. ‖ Neu, *ynddo ei hun.* [y] Esay 57. 19. Zech. 9. 10. [z] Psal. 148. 14. [a] Rhuf. 5. 2. [b] Phil. 3. 20. Heb 12. 22, 23. [c] Gal. 6. 10. [d] 1 Cor. 3. 9, 10. [e] Mat. 16. 18. Dat. 21. 14. [f] Psal. 118. 22. Esay 28. 16. [g] Pen. 4. 16. [h] 1 Cor. 3. 17. a 6. 19. 2 Cor. 6. 16. [i] 1 Petr 2. 5.

## PEN. III.

*1 Darfod hyspysu i Paul, trwy ddatguddiad, 5 guddiedig ddirgelwch 6 cadwedigaeth y Cenhedloedd. 8 ac mai iddo ef y rhoesid y gras i'w 9 bregethu ef. 13 Y mae efe yn dymuno arnynt na lwfrhaont oblegid ei flinderau ef, 14 ac yn gweddio 19 ar iddynt wybod mawr gariad Duw tu ag attynt.*

ER mwyn hyn, myfi Paul, [a] carcharor 64.
Iesu Grist [b] trosoch chwi y Cenhedl-
oedd;
2 Os clywsoch am [c] oruchwyliaeth gras
Duw, [d] yr hon a roddwyd i mi tu ag attoch
chwi.
3 [e] Mai trwy [f] ddatguddiad yr hyspysodd
[g] efe i mi y dirgelwch ([h] megis y 'sgrifen-
ais o'r blaen ar ychydig *eiriau*,
4 Wrth yr hyn y gellwch, pan ddarllen-
och, wybod fy neall i yn nirgelwch Crist)
5 [i] Yr hwn yn oesoedd eraill nid eglur-
wyd i feibion dynion, fel y mae yr awrhon
wedi ei ddatguddio i'w sanctaidd apostolion
a'i brophwydi trwy'r Yspryd;
6 Y byddai'r Cenhedloedd [k] yn gyd-
etifeddion, ac [l] yn gyd-gorph, ac [m] yn gyd-
gyfrannogion o'i addewid ef yng Nghrist,
trwy'r efengyl:
7 I'r hon y'm gwnaed i yn weinidog, [n] yn
ol rhodd gras Duw yr hwn a roddwyd i
mi, yn ol [o] grymmus weithrediad ei allu
ef.
8 I mi, [p] y llai nâ'r lleiaf o'r holl saint, y
rhoddwyd y gras hwn, [q] i efangylu ym
mysg y Cenhedloedd anchwiliadwy olud
Crist;
9 Ac i egluro i bawb beth *yw* cymdeithas
[r] y dirgelwch, yr hwn oedd guddiedig o
ddechreuad y byd yn Nuw, [s] yr hwn a
greodd bob peth trwy Iesu Grist:
10 [t] Fel y byddai yr awrhon yn hyspys
i'r [u] tywysogaethau ac i'r awdurdodau
yn y nefolion *leoedd*, trwy'r eglwys, fawr
amryw ddoethineb Duw,
11 Yn ol yr arfaeth dragywyddol yr hon
a wnaeth efe yng Nghrist Iesu ein Harglwydd
ni:
12 Yn yr hwn y mae i ni hyfdra, a [x] dy-
fodfa mewn hyder, trwy ei ffydd ef.
13 [y] O herwydd paham yr wyf yn dy-
muno na lwfrhaoch oblegid fy mlinderau i
[z] drosoch, yr hyn yw eich gogoniant chwi.
14 O herwydd hyn yr wyf yn plygu fy
ngliniau at Dad ein Harglwydd Iesu Grist,
15 O'r hwn yr enwir yr holl † deulu yn y
nefoedd ac ar y ddaear,
16 Ar roddi o hono ef i chwi, yn ol ‡ cy-
foeth ei ogoniant, fod wedi ymgadarnhau
mewn nerth, trwy ei Yspryd ef, yn [a] y dyn
oddi mewn;
17 A'r fod Crist yn trigo trwy ffydd yn
eich calonnau chwi;
18 Fel y galloch, [b] wedi eich gwreiddio
a'ch seilio mewn cariad, ymgyffred gyd â'r
holl saint, beth *yw*'r lled, a'r hŷd, a'r dyfn-
der, a'r uchder;
19 A gwybod cariad Crist, yr hwn sydd
uwch law gwybodaeth, fel y'ch cyflawner â
holl gyflawnder Duw.

[a] Pen. 4. 1. Phil. 1. 7. 13, 14, 16. Col. 4. 3. [b] Col. 1. 24. 2 Tim. 2. 10. [c] 1 Cor. 4. 1. Pen. 4. 7. [d] Act. 9. 15. a 13. 2. Gal. 1. 16. [e] Act. 22. 17, 21. [f] Gal. 1. 12. [g] Rhuf. 16. 25. Col. 1. 26. [h] Pen. 1. 9, 10. [i] Act. 10. 28. [k] Gal. 3. 28, 29. Pen. 2. 14. [l] Pen. 2. 15, 16. [m] Gal. 3. 14. [n] Rhuf. 1. 5. [o] Pen. 1. 19. [p] 1 Cor. 15. 9. 1 Tim. 1. 13, 15. [q] Gal. 1. 16. a 2. 8. Act. 9. 15. [r] Pen. 1. 9. Adn. 3. [s] Psal. 33. 6. Col. 1. 26. Heb. 1. 2. [t] 1 Petr 1. 12. [u] Rhuf. 8. 38. Pen. 1. 21. 1 Petr 3. 22. [x] Pen. 2. 18. Act. 14. 22. [y] Phil. 1. 14. 1 Thess. 3. 3. [z] Adn. 1. † *dadogaeth.* ‡ Rhuf. 9. 23. Pen. 1. 7. Phil. 4. 19. [a] Rhuf. 7. 22. 2 Cor. 4. 16. [b] Col. 2. 7.

20 Ond [c] i'r hwn a ddichon wneuthur
yn dra-rhagorol y tu hwnt i bob peth yr
ydym ni yn eu dymuno, neu yn eu meddwl,
yn ol y nerth sydd yn gweithredu ynom
ni,
21 Iddo ef *y byddo* y gogoniant yn yr
eglwys trwy Grist Iesu, dros yr holl genhedl-
aethau, hyd yn oes oesoedd. Amen.

## PEN. IV.

*1 Y mae yn eu hannog hwynt i undeb; 7 ac yn dangos bod Duw yn rhoddi amryw 11 ddoniau i ddynion, er mwyn 13 adeiladaeth ei eglwys, a'i 16 chynnydd yng Nghrist. 18 Y mae efe yn eu galw hwynt oddi wrth ammhurdeb y Cenhedloedd, 24 i wisgo y dyn newydd; 25 ac i fwrw ymaith gelwydd, 29 ac ymadrodd llygredig.*

64. DEISYF gan hynny arnoch yr wyf fi,
[a] † y carcharor yn yr Arglwydd, [b] ar
rodio o honoch yn addas i'r alwedigaeth
y'ch galwyd iddi,
2 [c] Gyd â phob gostyngeiddrwydd ac
addfwynder, ynghyd â hir-ymaros, gan
oddef eich gilydd mewn cariad;
3 Gan fod yn ddyfal i gadw undeb yr
Yspryd ynghwlwm tangnefedd.
4 [d] Un corph *sydd*, ac [e] un Yspryd,
megis ac y'ch galwyd yn un gobaith eich
galwedigaeth;
5 [f] Un Arglwydd, un ffydd, un bedydd,
6 [g] Un Duw a Thad oll, yr hwn *sydd*
goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll.
7 Eithr [h] i bob un o honom y rhoed gras
yn ol mesur dawn Crist.
8 O herwydd paham y mae efe yn dy-
wedyd, [i] Pan ddyrchafodd i'r uchelder,
[k] efe a gaethiwodd ‡ gaethiwed, ac a
roddes roddion i ddynion.
9 ([l] Eithr efe a ddyrchafodd, beth yw
ond darfod iddo hefyd ddisgyn yn gyntaf i
barthau isaf y ddaear?
10 Yr hwn a ddisgynodd, yw yr hwn
hefyd a esgynodd goruwch yr holl nefoedd,
[m] fel y § cyflawnai bob peth)
11 [n] Ac efe a roddes rai yn apostolion, a
rhai yn brophwydi, a rhai [o] yn efangylwŷr,
a rhai yn fugeiliaid ac [p] yn athrawon;
12 I berffeithio'r saint, i waith y weini-
dogaeth, i adeilad [q] corph Crist:
13 Hyd oni ymgyfarfyddom oll ‖ yn
undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn
wr perffaith, at fesur † oedran cyflawnder
Crist:
14 Fel na byddom mwyach [r] yn blantos,
[s] yn bwhwmman ac yn cin cylch-arwain
â phob awel dysgeidiaeth, trwy hocced
dynion, trwy gyfrwysdra i gynllwyn ‡ i
dwyllo:
15 Eithr, [t] gan fod yn § gywir mewn
cariad, [u] cynnyddu o honom iddo ef ym
mhob peth, [x] yr hwn yw'r pen, *sef*
Crist:
16 [y] O'r hwn y mae'r holl gorph wedi
ei gyd-ymgynnull a'i gyd gyssylltu, trwy
bob ‖ cymmal cynhaliaeth, yn ol y nerthol
weithrediad ym mesur pob rhan, yn gwneu-
thur cynnydd y corph, i'w adeiladu ei hun
mewn cariad.
17 Hyn gan hynny yr wyf yn ei ddy-
wedyd ac yn ei dystiolaethu yn yr Ar-
glwydd, [z] na rodioch chwi mwyach fel y
mae'r Cenhedloedd eraill yn rhodio, [a] yn
oferedd eu meddwl;
18 Wedi tywyllu *eu* deall, [b] wedi ym-
ddïeithrio oddi wrth fuchedd Dduw, trwy'r

[c] Rhuf. 16. 25. Judas 24.
[a] Pen. 3. 1.
† *carcharor yr.*
[b] Phil. 1. 27. Col. 1. 10. 1 Thess. 2. 12.
[c] Col. 3. 12, 13.
[d] Rhuf. 12. 4, 5.
[e] 1 Cor. 12. 4.
[f] 1 Cor. 8. 6. a 12. 5.
[g] Mal. 2. 10. 1 Cor. 12. 6.
[h] Rhuf. 12. 6. 1 Cor. 12. 11.
[i] Psal. 68. 18.
[k] Col. 2. 15.
‡ *lliaws o gaethion.*
[l] Ioan 3. 13.
[m] Act. 2. 33.
§ *llanwai.*
[n] 1 Cor. 12. 28.
[o] Act. 21. 8. 2 Tim. 4. 5.
[p] Rhuf. 12. 7.
[q] Pen. 1. 23. Col. 1. 24.
‖ *i.*
† *maintioli.*
[r] Esay 28. 9. 1 Cor. 14. 20.
[s] Heb. 13. 9.
‡ *twyll.*
[t] Zech. 8. 16.
§ *eirwir.*
[u] Pen. 1. 22. a 2. 21.
[x] Col. 1. 18.
[y] Col. 2. 19.
‖ *cyswllt.*
[z] 1 Petr 4. 3.
[a] Rhuf. 1. 21.
[b] Pen. 2. 12.

anwybodaeth sydd ynddynt, trwy † [c] ddall-
ineb eu calon:
19 Y rhai wedi diddarbodi, [d] a ymroisant
i drythyllwch, i wneuthur pob aflendid yn
unchwant.
20 Eithr chwychwi nid felly y dysgasoch
Grist;
21 Os bu i chwi ei glywed ef, ac os dysg-
wyd chwi ynddo, megis y mae'r gwirionedd
yn yr Iesu:
22 [e] Dodi o honoch heibio, o ran [f] yr
ymarweddiad cyntaf, [g] yr hen ddyn, yr
hwn sydd lygredig yn ol y chwantau twyll-
odrus;
23 Ac [h] ymadnewyddu yn yspryd eich
meddwl;
24 A [i] gwisgo y dyn newydd, yr hwn yn
ol Duw a grewyd mewn cyfiawnder ‡ a
gwir sancteiddrwydd.
25 O herwydd paham, gan fwrw ymaith
gelwydd, [k] dywedwch y gwir bob un
§ wrth ei gymmydog: oblegid [l] aelodau
ydym i'n gilydd.
26 [m] Digiwch, ac na phechwch: na fach-
luded yr haul ar eich digofaint chwi:
27 Ac [n] na roddwch le i ddiafol.
28 Yr hwn a ladrattaodd, na ladratted
mwyach: eithr yn hytrach [o] cymmered
boen, gan weithio â'i ddwylaw yr hyn
sydd dda; fel y byddo ganddo beth i'w
‖ gyfrannu i'r hwn y mae angen arno.
29 [p] Na ddeued un ymadrodd llygredig
allan o'ch genau chwi, ond [q] y cyfryw un
ag a fyddo da i adeiladu yn fuddiol, fel y
paro ras i'r gwrandawŷr.
30 Ac [r] na thristêwch Lân Yspryd Duw,
[s] trwy'r hwn y'ch seliwyd hyd ddydd
[t] prynedigaeth.
31 [u] Tynner ymaith oddi wrthych bob
chwerwedd, a llid, a dig, a llefain, a chabl-
edd, gyd â phob drygioni.
32 [x] A byddwch gymmwynasgar i'ch gil-
ydd, yn dosturiol, [y] yn maddeu i'ch gilydd,
megis y maddeuodd Duw ‡ er mwyn Crist i
chwithau.

† *galedrwydd.*
[c] Rhuf. 1. 21.
[d] Rhuf. 1. 24, 26.
[e] Col. 2. 11. a 3. 8. 1 Petr 2. 1.
[f] Pen. 2. 2, 3. 1 Petr 4. 3.
[g] Rhuf. 6. 6.
[h] Rhuf. 12. 2.
[i] Rhuf. 6. 4. 2 Cor. 5. 17.
‡ *a sancteiddrwydd y gwirionedd.*
[k] Zech. 8. 16.
§ *gyd â'i.*
[l] Rhuf. 12. 5.
[m] Psal. 4. 4. a 37. 8.
[n] Iago 4. 7. 1 Petr 5. 9.
[o] Act. 20. 35. 1 Thess. 4. 11. 2 Thess. 3. 8, 11, 12.
‖ *roddi.*
[p] Pen. 5. 4.
[q] Col. 4. 6.
[r] Esay 7. 13. a 63. 10 1 Thess. 5. 19.
[s] Pen. 1. 13.
[t] Luc 21. 28. Pen. 1. 14.
[u] Col. 3. 8, 19.
[x] 2 Cor. 2. 10. Col. 3. 12, 13. [y] Mat. 6. 14. Marc 11. 25.
‡ *yng Nghrist.*

## PEN. V.

*2 Ar ol cynghorion cyffredinol i garu eu gilydd, 3 ac i ochelyd godineb, a 4 phob aflendid, 7 ac i beidio â chyttal â'r annuwiol, 15 ac i rodio yn ddiesgeulus, 18 ac i fod yn llawn o'r Yspryd; 22 y mae efe yn dyfod at ddyledion gwahanredol: pa fodd y dylai gwragedd ufuddhâu i'w gwŷr, 25 a gwŷr garu eu gwragedd, 32 megis y mae Crist yn caru ei eglwys.*

[a] BYDDWCH gan hynny ddilynwŷr 64.
Duw, fel plant anwyl;
2 A [b] rhodiwch mewn cariad, [c] megis y
carodd Crist ninnau, ac a'i rhoddodd ei hun
drosom ni, yn offrwm ac yn aberth i Dduw
o arogl peraidd.
3 Eithr [d] godineb, a phob aflendid, neu
gybydd-dra, na enwer chwaith yn eich plith,
megis y gweddai i saint;
4 [e] Na † serthedd. nac ymadrodd ffol, na
choeg ddigrifwch, pethau nid ydynt weddus:
eithr yn hytrach rhoddi diolch.
5 Canys yr ydych chwi yn gwybod hyn,
am [f] bob putteiniwr, neu aflan, neu gy-
bydd [g] yr hwn sydd ddelw-addolwr, nad
oes iddynt etifeddiaeth yn nheyrnas Crist,
a Duw.

[a] Mat. 5. 45.
[b] Ioan 13. 34. a 15. 12.
[c] Gal. 2. 20. Heb. 9. 14.
[d] Col. 3. 5. 1 Thess. 4. 3, &c.
[e] Mat. 12. 34, 35. Pen. 4. 29.
† *brynti.*
[f] 1 Cor. 6. 9. Gal. 5. 21.
[g] Col. 3. 5.

6 [h] Na thwylled neb chwi â geiriau ofer:
canys oblegid y pethau hyn [i] y mae dig-
ofaint Duw yn dyfod [k] ar blant yr † anu-
fudd-dod.
7 Na fyddwch gan hynny gyfrannogion
â hwynt.
8 Canys yr oeddych chwi ‡ gynt yn
dywyllwch, ond yr awrhon [l] goleuni *ydych*
yn yr Arglwydd: rhodiwch fel [m] plant y
goleuni;
9 (Canys [n] ffrwyth yr Yspryd *sydd* ym
mhob daioni, a chyfiawnder, a gwirionedd)
10 Gan brofi [o] beth sydd gymmeradwy
gan yr Arglwydd.
11 Ac [p] na fydded i chwi gyd-gyfeillach
â [q] gweithredoedd anffrwythlawn y ty-
wyllwch, eithr yn hytrach argyoeddwch
hwynt.
12 Canys brwnt yw adrodd y pethau a
wneir ganddynt hwy yn ddirgel.
13 Eithr [r] pob peth, wedi § 'r argyoedder,
a eglurir gan y goleuni: canys beth bynnag
sydd yn egluro, goleuni yw.
14 O herwydd paham y ‖ mae efe yn
dywedyd, [s] Deffro di yr hwn wyt yn cysgu,
a [t] chyfod oddi wrth y meirw; a Christ a
oleua i ti.
15 [u] † Gwelwch gan hynny pa fodd y
rhodioch yn ddiesgeulus, nid fel annoeth-
ion, ond fel doethion;
16 Gan brynu 'r amser, [x] oblegid y dydd-
iau sy ddrwg.
17 Am hynny na fyddwch annoethion,
eithr [y] yn deall beth *yw* ewyllys yr Ar-
glwydd.
18 Ac [z] na feddwer chwi gan win, yn yr
hyn y mae gormodedd; eithr llanwer chwi
â'r Yspryd;
19 Gan lefaru wrth eich gilydd [a] mewn
psalmau, a hymnau, ac odlau ysprydol:
gan ganu a phyngcio yn eich calon i'r
Arglwydd;
20 [b] Gan ddïolch yn wastad i Dduw a'r
Tad, am bob peth [c] yn enw ein Harglwydd
Iesu Grist;
21 [d] Gan ymddarostwng i'ch gilydd yn
ofn Duw.
22 [e] Y gwragedd, ymostyngwch i'ch gwŷr
prïod, [f] megis i'r Arglwydd.
23 Oblegid [g] y gwr yw pen y wraig, me-
gis ag *y mae* [h] Crist yn ben i'r eglwys; ac efe
yw Iachawdwr [i] y corph.
24 Ond fel y mae'r eglwys yn ddaros-
tyngedig i Grist, felly hefyd *bydded* y
gwragedd i'w gwŷr prïod [k] ym mhob
peth.
25 [l] Y gwŷr, cerwch eich gwragedd, me-
gis ag y carodd Crist yr eglwys, ac [m] a'i
rhoddes ei hun drosti;
26 Fel y sancteiddiai efe hi, a'i glanhâu
[n] â'r olchfa ddwfr, [o] trwy 'r gair;
27 Fel y gosodai efe hi yn ‡ ogoneddus
iddo ei hun, yn eglwys [p] heb arni na
brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyf-
ryw; ond fel y byddai yn sanctaidd ac yn
ddifeius.
28 Felly y dylai y gwŷr garu eu gw-
ragedd, megis eu cyrph eu hunain. Yr
hwn a garo ei wraig, sydd yn ei garu ei
hun.
29 Canys ni chasaodd neb erioed ei
gnawd ei hun; eithr ei fagu a'i feithrin
y mae, megis ag y *mae*'r Arglwydd am yr
eglwys:

[h] Mat. 24. 4. Col. 2. 4, 8, 18.
[i] Rhuf. 1. 18.
[k] Pen. 2. 2.
† *anghredinineth.*
‡ *rywamser.*
[l] 2 Cor. 3. 18. 1 Thess. 5. 5.
[m] Luc 16. 8.
[n] Gal. 5. 22.
[o] Rhuf. 12. 2.
[p] 1 Cor. 5. 9. a 10. 20.
[q] Rhuf. 6. 21. a 13. 12 Gal. 6. 8.
[r] Ioan 3. 20, 21. Heb. 4. 13.
§ *y datguddier.*
‖ *mae yn.*
[s] Esay 60. 1. Rhuf. 13. 11, 12.
[t] Ioan 5. 25. Rhuf. 6. 4, 5. Pen. 2. 5. Col. 3. 1.
[u] Col. 4. 5.
† *Edrychwch.*
[x] Preg. 11. 2. Ioan 12. 35. Pen. 6. 13. Gal. 6. 10.
[y] Rhuf. 12. 2.
[z] Diar. 20. 1. a 23. 20. Luc 21. 34.
[a] Col. 3. 16. Iago 5. 13.
[b] Psal. 34. 1. 1 Thess. 5. 18.
[c] Heb. 13. 15. 1 Petr 2. 5. a 4. 11.
[d] 1 Petr 5. 5.
[e] 1 Cor. 14. 34. Col. 3. 8. Tit. 2. 5. 1 Petr 3. 1.
[f] Pen. 6. 5.
[g] 1 Cor. 11. 3.
[h] Pen. 1. 22. a 4. 15. Col. 1. 18.
[i] Pen. 1. 23.
[k] Col. 3. 20, 22. Tit. 2. 9.
[l] Col. 3. 19. 1 Petr 3. 7.
[m] Gal. 1. 4. Adn. 2.
[n] Ioan 3. 5. Tit. 3. 5. Heb. 10. 22. 1 Ioan 5. 6.

[o] Ioan 15. 3. a 17. 17. ‡ *cyfryw ogoneddus iddo ei hun, heb, &c.* [p] Can. 4. 7. Col. 1. 22.

30 Oblegid [q] aelodau ydym o'i gorph ef,
o'i gnawd ef, ac o'i esgyrn ef.
31 [r] Am hynny y gad dyn ei dad a'i fam,
ac y glŷn wrth ei wraig, a hwy a fyddant
ill dau yn un cnawd.
32 Y dirgelwch hwn sydd fawr: eithr
am Grist ac *am* yr eglwys yr wyf fi yn dy-
wedyd.
33 Ond chwithau hefyd cymmain un,
felly cared pob un o honoch ei wraig, fal
ef ei hunan; a'r wraig *edryched* ar iddi
berchi *ei* gwr.

[q] 1 Cor. 6. 15. a 12. 27.
[r] Gen. 2. 24. Mat. 19. 5. Marc 10. 7. 1 Cor. 6. 16.

PEN. VI.

1 *Dyledswydd plant tu ag at eu rhïeni,* 5 *a gweision tu ag at eu harglwyddi.* 10 *Mai milwriaeth yw ein bywyd ni.* 12 *nid yn unig yn erbyn cig a gwaed, eithr hefyd yn erbyn gelynion ysprydol.* 13 *Cyflawn arfogaeth Cristion,* 18 *a'r modd yr arferir.* 21 *Canmol Tychicus.*

[a] Y Plant, ufuddhêwch i'ch rhïeni yn 64.
yr Arglwydd: canys hyn sydd gyf-
iawn.
2 [b] Anrhydedda dy dad a'th fam (yr
hwn yw y gorchymyn cyntaf mewn ad-
dewid)
3 Fel y byddo yn dda i ti, ac fel y bydd-
ech hir-hoedlog ar y ddaear.
4 A [c] chwithau dadau, na yrrwch eich
plant i ddigio; ond [d] maethwch hwynt yn
addysg † ac athrawiaeth yr Arglwydd.
5 [e] Y gweision, ufuddhêwch i'r *rhai sydd*
arglwyddi *i chwi* yn ol y cnawd, gyd ag
ofn a dychryn, yn symlrwydd eich calon,
megis i Grist;
6 Nid â golwg-wasanaeth, fel boddlon-
wŷr dynion, ond fel gweision Crist, yn
gwneuthur ewyllys Duw o'r galon;
7 Trwy ewyllys da yn gwneuthur gwas-
anaeth, megis i'r Arglwydd, ac nid i ddyn-
ion:
8 [f] Gan wybod mai pa ddaioni bynnag
a wnelo pob un, hynny a dderbyn *efe* gan
yr Arglwydd, pa un bynnag ai caeth ai
rhŷdd *fyddo.*
9 A chwithau [g] feistraid, gwnewch yr un
pethau tu ag attynt hwy, gan roddi bygwth
heibio: gan wybod fod eich Arglwydd
‡ chwi a hwythau yn y nefoedd; ac § [h] nid
oes derbyn wyneb gyd ag ef.
10 Heb law hyn, fy mrodyr, ymnerth-
wch yn yr Arglwydd, ac [i] yngnadernid ei
allu ef.
11 [k] Gwisgwch holl arfogaeth Duw, fel
y galloch sefyll yn erbyn cynllwynion diafol.
12 Oblegid nid yw ein hymdrech ni yn
erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn ty-
wysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn
erbyn [l] bydol-lywiawdwŷr tywyllwch y
byd hwn, yn erbyn ‖ drygau ysprydol yn
y nefolion † *leoedd.*
13 Am hynny cymmerwch attoch holl
arfogaeth Duw, fel y galloch wrth-sefyll yn
y dydd drwg; ac wedi ‡ gorphen pob peth,
sefyll.
14 Sefwch gan hynny, [m] wedi amgylch-
wregysu eich lwynau â gwirionedd, a
[n] gwisgo dwyfronneg cyfiawnder;
15 A gwisgo am eich traed esgidiau pa-
rottoad efengyl tangnefedd:
16 § Uwch law pob dim, wedi cymmeryd
[o] tarian y ffydd, â'r hwn y gellwch ddiffoddi
holl biccellau tanllyd y ‖ fall.
17 [p] Cymmerwch hefyd helm yr iach-
awdwriaeth, a [q] chleddyf yr Yspryd, yr
hwn yw gair Duw:

[a] Col. 3. 20.
[b] Exod. 20. 12. Deut. 5. 16. a 27. 16. Eccl. 3. 8. Mat. 15. 4. Marc 7. 10.
[c] Col. 3. 21.
[d] Deut. 6. 7, 20. Psal. 78. 4. Diar. 19. 18.
† *a rhybudd.*
[e] Col. 3. 22. 1 Tim. 6. 1. Tit. 2. 9. 1 Petr 2. 18.
[f] Job 34. 11.
[g] Col. 4. 1.
‡ *chwithau hefyd.*
§ *nad.*
[h] Doeth. 6. 7. Eccl. 35. 12. Rhuf. 2. 11. Col. 3. 25.
[i] Pen. 1. 19. a 3. 10.
[k] Rhuf. 13. 12. 2 Cor. 6. 7. 1 Thess. 5. 8.
[l] Ioan 12. 31. a 14. 30. Col. 1. 13.
‖ *ysprydion drwg.*
† *bethau.*
‡ *gorchfygu.*
[m] Esay 11. 5. Luc 12. 35.
[n] Esay 59. 17. 2 Cor. 6. 7. 1 Thess. 5. 8.
§ *Heblaw, neu, Ym mhob peth.*
[o] 1 Ioan 5. 4.
‖ *drwg.*
[p] Adn. 14.
[q] Heb. 4. 12. Dat. 1. 16.

[r] Rhuf. 12. 12. 18 [r] Gan weddïo bob amser â phob rhyw
Col. 4. 2. weddi a deisyfiad yn yr Yspryd, a [s] bod yn
1 Thess. 5. 17. wyliadwrus at hyn yma, trwy bob dyfal-bara,
a deisyfiad dros yr holl saint;
[s] Marc 13. 33. 19 [t] A throsof finnau, fel y rhodder i mi
ymadrodd, trwy agoryd fy ngenau [u] yn hŷ,
[t] Act. 4. 29. Col. 4. 3. i hyspysu dirgelwch yr efengyl:
2 Thess. 3. 1. 20 Dros yr hon [x] yr wyf yn gennad
[y] mewn † cadwyn: fel y traethwyf yn hŷ
[u] 2 Cor. 3. 12. ‡ am dani, fel y perthyn i mi draethu.
21 Ond [z] fel y gwypoch chwithau hefyd
[x] 2 Cor. 5. 20. fy helynt, beth yr wyf yn ei wneuthur,
[y] Act. 28. 20. Pen. 3. 1. † *rhwymau.* ‡ *ynddi, fel.*
[z] Col. 4. 7.

[a] Tychicus, y brawd anwyl, a'r gweinidog [a] 2 Tim. 4. 12.
ffyddlon yn yr Arglwydd, a hyspysa i chwi Tit. 3. 12.
bob peth:
22 Yr hwn a anfonais attoch er mwyn hyn
yma; fel y caech wybod ein helynt ni, ac
fel y diddanai efe eich calonnau chwi.
23 Tangnefedd i'r brodyr, a chariad gyd
â ffydd oddi wrth Dduw Dad, a'r Ar-
glwydd Iesu Grist.
24 Gras *fyddo* gyd â phawb sy yn caru
ein Harglwydd Iesu Grist mewn § purdeb. § *anllygredigaeth.*
Amen.

¶ At yr Ephesiaid yr ysgrifenwyd o Rufain, gyd â Thychicus.

---

# ¶ Epistol PAUL yr Apostol at y PHILIPPIAID.

## PEN. I.

*3 Y mae efe yn tystiolaethu ei ddïolchgarwch i Dduw, a'i serch tu ag attynt hwythau, am ffrwythau eu ffydd hwynt, a'u cymdeithas yn ei ddïoddefiadau ef: 9 gan weddïo beunydd, ar iddynt gynnyddu mewn gras. 12 Y mae efe yn dangos pa ddaioni a ddaeth i ffydd Crist trwy ei flinderau ef yn Rhufain; 21 ac mor barod ydyw efe i ogoneddu Crist, pa un bynnag ai trwy fywyd, ai trwy farwolaeth: 27 gan eu hannog hwy i undeb, 28 ac i fod yn gryfion mewn erlid.*

Bl. yr Argl. 64.

PAUL a Thimothëus, gweision Iesu Grist,
at yr holl saint [a] yng Nghrist Iesu y
[a] 1 Cor. 1. 2. rhai sy yn Philippi, gyd â'r esgobion a'r
dïaconiaid.
[b] Rhuf. 1. 7. 2 [b] Gras i chwi, a thangnefedd, oddi
wrth Dduw ein Tad ni, a'r Arglwydd Iesu
1 Petr 1. 2. Grist.
[c] Rhuf. 1. 8. 3 [c] I'm Duw yr ydwyf yn dïolch, ym
mhob coffa am danoch,
1 Cor. 1. 4. Eph. 1. 15, 16. 4 Bob amser ym mhob deisyfiad o'r eiddof
drosoch chwi oll, gan wneuthur fy neisy-
Col. 1. 3. fiad gyd â llawenydd,
1 Thess. 1. 2. 5 Oblegid eich cymdeithas chwi yn yr
[d] Ioan 6. 29. efengyl, o'r dydd cyntaf hyd yr awrhon;
6 Gan fod yn hyderus yn hyn, y bydd i'r
1 Thess. 1. 3. hwn a ddechreuodd ynoch [d] waith da, *ei* or-
phen [e] hyd ddydd Iesu Grist:
[e] Adn. 10. 7 Megis y mae yn iawn i mi synied hyn
† *am fod gennych fi yn eich calon.* am danoch oll, † am eich bod gennyf yn fy
nghalon, yn gymmaint a'ch bod chwi oll,
yn gystal [f] yn fy rhwymau, ac yn fy ym-
[f] Eph. 3. 1. 2 Tim. 1. 8. ddiffyn a chadarnhâd yr efengyl, [g] yn gyf-
rannogion ‡ â mi o ras.
[g] Pen. 4. 14. 8 Canys [h] Duw sydd dyst i mi, mor hir-
‡ *o'm gras.* aethus wyf am danoch oll yn ymysgaroedd
[h] 1 Thess. 2. 5. Iesu Grist.
9 A hyn yr wyf yn ei weddïo, ar amlhâu
[i] Rhuf. 2. 18. o'ch cariad chwi etto fwyfwy mewn gwybo-
daeth, a phob synwyr;
§ *ragorol.* 10 Fel [i] y profoch y pethau sydd § â gwa-
[k] 1 Thess. 3. 13. a 5. 23. haniaeth rhyngddynt; fel [k] y byddoch bur a
didramgwydd hyd ddydd Crist;
11 Wedi eich cyflawni â ffrwythau cyf-
[l] Ioan 15. 4, 5. iawnder, [l] y rhai sydd trwy Iesu Grist, [m] er
Eph. 2. 10. gogoniant a moliant i Dduw.
[m] Ioan 15. 8. 12 Ac mi a ewyllysiwn i chwi wybod,
frodyr, am y pethau *a ddigwyddodd* i mi,
Eph. 1. 12, 14. ddyfod o honynt yn hytrach er llwyddiant
i'r efengyl;
‖ *o achos Crist.* 13 Yn gymmaint a bod fy rhwymau i
‖ yng Nghrist yn eglur yn † yr holl lys, ac
† *llys Cesar.* ‡ ym mhob *lle* arall;
‡ *i bawb eraill.* 14 Ac i lawer o'r brodyr yn yr Ar-
glwydd fyned yn hyderus wrth fy rhwymau

i, a bod yn hyfach o lawer i draethu'r gair
yn ddïofn.
15 Y mae rhai yn wir yn pregethu Crist
trwy gynfigen ac ymryson; a rhai hefyd o
ewyllys da.
16 Y naill sy'n pregethu Crist o gynnen,
nid yn bur, gan feddwl dwyn mwy o flinder
i'm rhwymau i:
17 A'r lleill o gariad, gan wybod mai er
ymddiffyn yr efengyl y'm gosodwyd.
18 Beth er hynny? etto ym mhob modd,
pa un bynnag ai mewn rhith, ai mewn gwir-
ionedd, yr ydys yn pregethu Crist: ac yn hyn
yr ydwyf fi yn llawen, ïe, a llawen fyddaf.
19 Canys mi a wn y digwydd hyn i mi
er iachawdwriaeth, [n] trwy eich gweddi chwi, [n] 2 Cor. 1. 11.
a chynhorthwy [o] Yspryd Iesu Grist,
20 Yn ol fy awydd-fryd a'm gobaith, [o] Rhuf. 8. 9.
[p] na'm gwaradwyddir mewn dim, eithr mewn
pob hyder, fel bob amser, *felly* yr awrhon [p] Rhuf. 5. 5.
hefyd, y mawrygir Crist yn fy nghorph i,
pa un bynnag ai trwy fywyd, ai trwy farwo-
laeth.
21 Canys byw i mi *yw* Crist, a marw *sydd*
elw.
22 Ac os byw fyddaf yn y cnawd, hyn *yw*
ffrwyth fy llafur: a pha beth a ddewisaf, ni's
gwn.
23 Canys [q] y mae yn gyfyng arnaf o'r [q] 2 Cor. 5. 8.
ddeu-*tu*; gan fod gennyf chwant i'm dattod, 2 Tim. 4. 6.
ac i fod gyd â Christ: canys llawer § iawn
gwell *ydyw.* § *mwy.*
24 Eithr aros yn y cnawd *sydd* fwy ang-
enrheidiol o'ch plegid chwi.
25 A [r] chennyf yr hyder hwn, yr wyf yn [r] Pen. 2.
gwybod yr arhosaf ac y cyd-drigaf gyd â 24.
chwi oll, er cynnydd i chwi, a llawenydd y
ffydd.
26 Fel y byddo [s] eich gorfoledd chwi yn [s] 2 Cor. 1.
helaethach yng Nghrist Iesu o'm plegid i, 14. a 5. 12.
trwy fy nyfodiad i drachefn attoch.
27 Yn unig [t] ymddygwch yn addas i efeng- [t] Eph. 4. 1.
yl Grist; fel pa un bynnag *a wnelwyf* ai dy- Col. 1. 10.
fod a'ch gweled chwi, ai bod yn absennol, y 1 Thess. 2.
clywyf oddi wrth eich helynt chwi, eich bod 12. a 4. 1.
yn sefyll yn un yspryd, ag un enaid, gan
[u] gyd-ymdrech ‖ gyd â ffydd yr efengyl; [u] Judas 3.
28 Ac heb eich dychrynu mewn un dim ‖ Neu, *dros*, neu, *trwy.*
gan eich gwrthwynebwŷr: [x] yr hyn iddynt
hwy yn wir sydd arwydd sicr o golledigaeth,
[y] ond i chwi o iachawdwriaeth, a hynny gan [x] 2 Thess. 1. 5.
Dduw.
29 Canys i chwi [z] y rhoddwyd, *bod i chwi,* [y] Rhuf. 8. 17.
er Crist, nid yn unig gredu ynddo ef, ond 2 Tim. 2. 11.
hefyd ddïoddef erddo ef;
30 Gan fod i chwi yr un ymdrin [a] ag a [z] Act. 5. 41.
welsoch ynof fi, ac yr awrhon a glywch *ei* [a] Act. 16.
*fod* ynof fi. 19. &c.

## PEN. II.

1 *Y mae efe yn eu hannog hwynt i undeb, ac
i bob gostyngeiddrwydd meddwl, trwy si-
ampl ufudd-dod a dyrchafiad Crist;* 12 *ac
i fyned rhagddynt yn ofalus yn ffordd iach-
awdwriaeth, fel y byddont megis yn oleuad-
au i'r byd annuwiol,* 16 *ac yn ddiddanwch
iddo yntau, eu hapostol hwynt, yr hwn
sydd bellach barod i'w offrymmu i Dduw.*
19 *Y mae efe yn gobeithio danfon Timothëus
attynt, yr hwn y mae efe yn ei ganmol yn
fawr;* 25 *ac felly Epaphroditus, yr hwn
y mae efe ar fedr ei ddanfon attynt yn ddi-
attreg.*

64. OD *oes* gan hynny ddim diddanwch yng
Nghrist, od oes dim cysur cariad, od
oes dim cymdeithas yr Yspryd, od oes dim
ymysgaroedd a thosturiaethau;
2 Cyflawnwch fy llawenydd, [a] fel y bydd-
och yn meddwl yr un peth, a'r un cariad
gennych, yn gyttûn, yn synied yr un peth.
3 Na *wneler* dim trwy gynnen neu wag-
ogoniant, eithr [b] mewn gostyngeiddrwydd,
gan dybied eich gilydd yn well nâ chwi eich
hunain.
4 [c] Nac edrychwch bob un ar yr eiddoch
eich hunain, eithr pob un ar yr eiddo eraill
hefyd.
5 Canys [d] bydded ynoch y meddwl yma,
yr hwn *oedd* hefyd yng Nghrist Iesu:
6 Yr hwn, ac [e] efe yn ffurf Duw, [f] ni thy-
biodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw;
7 Eithr efe a'i † [g] dibrisiodd ei hun, gan
gymmeryd arno agwedd [h] gwas, ac [i] a wnaed
mewn ‡ cyffelybiaeth dynion:
8 A'i gael mewn dull fel dyn, efe a'i da-
rostyngodd ei hun, gan fod [k] yn ufudd hyd
angau, ïe, angau 'r groes.
9 O herwydd paham, Duw [l] a'i tra-dyr-
chafodd yntau, ac [m] a roddes iddo enw yr
hwn *sydd* goruwch pob enw;
10 [n] Fel yn enw Iesu y plygai pob glin,
o'r nefolion, a'r daearolion, a than-ddaear-
olion *bethau;*
11 Ac [o] y cyffesai pob tafod *fod* Iesu Grist
yn Arglwydd, er gogoniant Duw Dad.
12 Am hynny, fy anwylyd, megis bob
amser yr ufuddhasoch, nid fel yn fy ngŵydd
yn unig, eithr yr awrhon yn fwy o lawer yn
fy absen, gweithiwch allan eich iachawd-
wriaeth eich hunain § trwy ofn a dychryn.
13 Canys [p] Duw yw 'r hwn sydd yn gwei-
thio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewy-
llys da *ef.*
14 Gwnewch bob dim [q] heb rwgnach, ac
ymddadleu;
15 Fel y byddoch ddïargyoedd, a ‖ dini-
weid, [r] yn blant difeius i Dduw, ynghanol
cenhedlaeth ddrygionus a throfaus, ym
mhlith y rhai yr ydych [s] yn disgleirio megis
golenadau yn y byd,
16 Yn cynnal gair y bywyd; [t] er gorfo-
ledd i mi * yn nydd Crist, [u] na redais yn
ofer, ac na chymmerais boen yn ofer.
17 Ië, a phe [x] y'm ‡ hoffrymmid ar [y] ab-
erth a gwasanaeth eich ffydd, [z] llawenhâu 'r
wyf, a chyd-lawenhâu â chwi oll.
18 Oblegid yr un *peth* hefyd byddwch
chwithau lawen, a chyd-lawenhêwch â min-
nau.
19 Ac yr wyf yn gobeithio yn yr Ar-

[a] Rhuf. 12. 16. a 15. 5. 1 Cor. 1. 10. Pen. 3. 15. 1 Petr 3. 8.
[b] Rhuf. 12. 10. 1 Petr 5. 5.
[c] 1 Cor. 10. 24. a 13. 5.
[d] Mat. 11. 29. Ioan 13. 5. 1 Petr 2. 21. 1 Ioan 2. 6.
[e] Ioan 1. 1, 2. a 17. 5.
[f] Ioan 5. 18.
† *gwag-haodd.*
[g] Psal. 22. 6. Esay 53. 3. Dan. 9. 26. Marc 9. 12.
[h] Esay 42. 1. a 49. 3, 6. a 52. 13. a 53. 11. Ezec. 34. 23, 24. Zech. 3. 8.
[i] Ioan 1. 14. Rhuf. 1. 4 Gal. 4. 4. Heb. 2. 14, 17.
‡ Neu, *gosgedd.*
[k] Mat. 26. 39, 42. Ioan 10. 18. Heb. 5. 8.
[l] Ioan 17. 1, 2. 5. Heb. 2. 9.
[m] Eph. 1. 21. Heb. 1. 4.
[n] Esay 45. 23. Rhuf. 14. 11.
[o] Ioan 13. 13.
§ *gyd ag.*
[p] 2 Cor. 3. 5. Heb. 13. 21.
[q] 1 Petr 4. 9.
‖ Neu, *phurion.*
[r] Mat. 5. 45.
[s] Mat. 5. 14.
[t] 2 Cor. 1. 14. 1 Thes. 2. 19.
* Neu, *hyd ddydd,* neu, *erbyn dydd.*
[u] Gal. 2. 2. 1 Thes. 3. 5.
[x] 1 Tim. 4. 6.
‡ *haberthid.*
[y] Rhuf. 15. 16.
[z] 2 Cor. 7. 4. Col. 1. 24.

glwydd Iesu, anfon [a] Timothëus ar fyrder
attoch, fel y'm cysurer innau hefyd, wedi i
mi wybod eich helynt chwi.
20 Canys nid oes gennyf neb § o gyffelyb
feddwl, yr hwn ‖ a wir-ofala am y pethau a
berthyn i chwi.
21 Canys pawb [b] sy'n ceisio 'r eiddynt eu
hunain, nid yr eiddo Crist Iesu.
22 Eithr y prawf o hono ef chwi a'i gwyd-
doch, mai fel plentyn gyd â thad, y gwasa-
naethodd efe gyd â myfi yn yr efengyl.
23 Hwn gan hynny yr ydwyf yn gobeith-
io ei ddanfon, cyn gynted ag y gwelwyf yr
hyn a fydd i mi.
24 [c] Ac y mae gennyf hyder yn yr Ar-
glwydd y deuaf finnau hefyd ar fyrder at-
toch.
25 Eithr mi a dybiais yn angenrheidiol
ddanfon attoch Epaphroditus, fy mrawd,
a'm cyd-weithiwr, a'm [d] cyd-filwr, ond eich
† cennad chwi, a [e] gweinidog i'm cyfreidiau
innau.
26 Canys yr oedd efe yn hiraethu am da-
noch oll, ac yn athrist iawn, oblegid i chwi
glywed ei fod ef yn glaf.
27 Canys yn wir efe a fu glaf yn agos i
angau: ond Duw a drugarhaodd wrtho ef;
ac nid wrtho ef yn unig, ond wrthyf finnau
hefyd, rhag cael o honof dristwch ar drist-
wch.
28 Yn fwy ‡ diwyd gan hynny yr anfo-
nais i ef, fel gwedi i chwi ei weled ef dra-
chefn, y byddech chwi lawen, ac y byddwn
innau yn llai fy nhristwch.
29 Derbyniwch ef gan hynny yn yr Ar-
glwydd gyd â phob llawenydd; a'r cyfryw
rai § [f] gwnewch gyfrif o honynt:
30 Canys oblegid gwaith Crist y bu efe
yn agos i angau, ac y bu di-ddarbod am ei
einioes, [g] fel y cyflawnai efe eich diffyg
chwi o'ch gwasanaeth tu ag attaf fi.

[a] Rhuf. 16. 21.
§ *mor anwyl i mi.*
‖ Neu, *yn naturiol a ofala.*
[b] 1 Cor. 10 24, 33.
2 Tim. 4. 10, 16.
[c] Pen. 1. 25. Philem. 22.
[d] Philem. 2.
† *apostol.*
[e] Pen. 4. 18.
‡ *gofalus.*
§ *anrhydeddwch.*
[f] 1 Cor. 16. 18. 1 Thes. 5. 12. 1 Tim. 5. 17.
[g] 1 Cor. 16. 17.

## PEN. III.

1 *Y mae efe yn eu rhybuddio hwy i ochelyd
gau-athrawon yr enwaediad; ac* 4 *yn dan-
gos fod iddo ef fwy o achos nag iddynt hwy,
i hyderu ynghyfiawnder y ddeddf:* 7 *yr
hyn, er hynny, y mae efe yn ei gyfrif yn
dom ac yn golled, er mwyn ennill Crist, a'i
gyfiawnder ef;* 12 *gan gydnabod ei am-
mherffeithrwydd ei hun yn hyn.* 15 *Y mae
efe yn eu hannog hwy i fod o'r meddwl
hwn,* 17 *ac i'w ddynwared ef;* 18 *ac i
ochelyd ffyrdd Cristianogion cnawdol.*

WEITHIAN, fy mrodyr, [a] byddwch 64.
lawen yn yr Arglwydd. Ysgrifennu yr
un pethau attoch, gennyf fi yn wir nid *yw*
flin, ac i chwithau *y mae* yn ddïogel.
2 Gochelwch gŵn, gochelwch [b] ddrwg-
weithwŷr, gochelwch y cyd-doriad.
3 Canys [c] yr enwaediad ydym ni, [d] y rhai
ydym yn gwasanaethu Duw yn yr yspryd,
ac yn gorfoleddu yng Nghrist Iesu, ac nid
yn ymddiried yn y cnawd:
4 *Ac* [e] er bod gennyf *achos* i ymddiried,
ïe, yn y cnawd. Os yw neb arall yn tybied
*y gall* ymddiried yn y cnawd, myfi yn
fwy:
5 [f] Wedi enwaedu arnaf yr wythfed dydd,
[g] o genedl Israel, [h] o lwyth Benjamin, yn
Hebrëwr o'r Hebreaid; yn ol y ddeddf, [i] yn
Pharisead;
6 [k] Yn ol zel, [l] yn erlid yr eglwys; yn
ol y cyfiawnder sydd yn y ddeddf, yn † ddi-
argyoedd.

[a] 2 Cor. 13. 11. Pen. 4. 4.
[b] 2 Cor. 11. 13.
[c] Rhuf. 2. 28, 29. a 4. 11, 12. Col. 2. 11.
[d] Ioan 4. 23, 24.
[e] 2 Cor. 11. 18.
[f] Gen. 17. 12.
[g] 2 Cor. 11. 22.
[h] Rhuf. 11. 1.
[i] Act 23. 6. a 26. 4, 5.
[k] Act. 22. 3. Gal. 1. 13, 14.
[l] Act. 8. 3. a 9. 1.
† *ddiachwyn arnaf.*

7 Eithr [m] y pethau oedd elw i mi, y rhai
hynny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist.
8 Ie yn ddïammeu, yr wyf hefyd yn cyf-
rif pob peth yn golled, [n] o herwydd ardder-
chowgrwydd gwybodaeth Iesu Grist fy Ar-
glwydd: er mwyn yr hwn y'm colledwyd
yn mhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn
dom, fel yr ynnillwyf Grist,
9 Ac y'm cair ynddo ef heb fy nghyf-
iawnder fy hun, [o] yr hwn *sydd* o'r gyfraith,
ond [p] yr hwn sydd trwy ffydd Grist, *sef* y
cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd:
10 Fel yr adnabyddwyf ef, a grym ei ad-
gyfodiad ef, a [q] chymdeithas ei ddïoddefia-
dau ef, gan fod wedi fy nghyd-ffurfio â'i far-
wolaeth ef;
11 Os mewn un modd y gallwn gyrhaed-
dyd adgyfodiad y meirw:
12 Nid fel pe bawn [r] wedi ei gyrhaeddyd
eisoes, neu fod eisoes [s] wedi fy mherffeith-
io; eithr dilyn yr wyf, fel y gallwyf ymaf-
lyd *yn y peth* hwn hefyd yr ymaflwyd ynof
gan Grist Iesu.
13 *Y* brodyr, nid wyf fi yn bwrw ddarfod
i mi gael gafael: ond un peth, [t] gan angho-
fio y pethau sy o'r tu cefn, ac [u] ymestyn at
y pethau o'r tu blaen,
14 Yr ydwyf yn cyrchu at y nôd, am
gamp [x] uchel alwedigaeth Duw yng Nghrist
Iesu.
15 Cynnifer gan hynny ag ydym [y] ber-
ffaith, syniwn hyn: ac os ydych yn synied
dim yn amgenach, hyn hefyd a ddatguddia
Duw i chwi.
16 Er hynny, y peth y daethom atto,
[z] cerddwn wrth yr un rheol, syniwn yr un
peth.
17 [a] Byddwch † ddilynwŷr i mi, frodyr,
ac edrychwch ar y rhai sy yn rhodio felly,
megis [b] yr ydym ni yn siampl i chwi.
18 (Canys y mae llawer yn rhodio, am y
rhai y dywedais i chwi yn fynych, ac yr yd-
wyf yr awrhon hefyd dan wylo yn dywed-
yd, *mai* [c] gelynion croes Crist *ydynt*;
19 [d] Diwedd y rhai *yw* distryw, [e] duw y
rhai *yw eu* bol, [f] a'u gogoniant yn eu cywi-
lydd, [g] y rhai sydd yn synied pethau dae-
arol)
20 Canys [h] ein hymarweddiad ni sydd
yn y nefoedd; o'r lle hefyd [i] yr ydym yn
disgwyl yr Iachawdwr, yr Arglwydd Iesu
Grist:
21 [k] Yr hwn a gyfnewidia ‡ ein corph
gwael ni, fel y gwneler ni yr un ffurf § â'i
gorph gogoneddus ef, yn ol y nerthol weith-
rediad trwy yr hwn y dichon efe, ‖ [l] ïe, dda-
rostwng pob peth iddo ei hun.

[m] Mat. 13. 44.
[n] Esay 53. 11. Jer. 9. 23, 24. Ioan 17. 3. Col. 2. 2.
[o] Rhuf. 10. 5.
[p] Rhuf. 1. 17. a 3. 21, 22. Gal. 2. 16.
[q] Rhuf. 6. 3, 4, 5. 2 Cor. 4. 10, 11. 2 Tim. 2. 11, 12. 1 Petr 4. 13.
[r] 1 Tim. 6. 12.
[s] Heb. 12. 23.
[t] Psal. 45. 10. Luc 9. 62.
[u] 1 Cor. 9. 24, 26. Heb. 6. 1.
[x] Heb. 3. 1.
[y] 1 Cor. 2. 6. a 14. 20.
[z] Rhuf. 12. 16. a 15. 5.
[a] 1 Cor. 4. 16. a 11. 1. 1 Thess. 1. 6.
† *gyd-ddilynwŷr.*
[b] 1 Petr 5. 3.
[c] Gal. 6. 12.
[d] 2 Cor. 11. 15.
[e] Rhuf. 16. 18.
[f] Hos. 4. 7. 2 Cor. 11. 12. Gal. 6. 13.
[g] Rhuf. 8. 5.
[h] Eph. 2. 6, 19. Col. 3. 1, 3.
[i] 1 Cor. 1. 7. 1 Thess. 1. 10 Tit. 2. 13.
[k] 1 Cor. 15. 43, 48, 49. Col. 3. 4.
‡ *corph ein gwaeledd ni.*

§ *â chorph ei ogonedd ef.* ‖ *hefyd, neu, hyd yn oed.* [l] 1 Cor. 15. 26, 27.

## PEN. IV.

1 *Ar ol rhybuddion neillduol,* 4 *y mae efe yn myned rhagddo at gynghorion cyffredinol;* 10 *ac yn dangos pa fodd y llawenychodd efe wrth eu haelioni hwy tu ag atto ef, pan oedd yngharchar; nid yn gymmaint am iddynt borthi ei anghenion ef, ag am y gras Duw oedd ynddynt hwy:* 19 *ac felly y mae efe yn diweddu, gan weddïo, a'u hannerch hwy.*

64.
AM hynny, fy mrodyr anwyl a hoff, [a] fy
llawenydd a'm coron, felly sefwch yn
yr Arglwydd, anwylyd.
2 Yr ydwyf yn attolwg i Euodias, ac yn
attolwg i Syntyche, synied yr un peth yn yr
Arglwydd.
3 Ac yr ydwyf yn dymuno arnat tithau,
fy ngwir gymmar, cymmorth y gwragedd
hynny y rhai yn yr efengyl [b] a gyd-lafur-
iasant â mi, ynghŷd â Chlement hefyd, a'm
cyd-weithwŷr eraill, [c] y rhai *y mae* eu henw-
au yn llyfr y bywyd.
4 [d] Llawenhêwch yn yr Arglwydd yn
wastadol: *a* thrachefn meddaf, Llawen-
hêwch.
5 Bydded eich arafwch yn hyspys i bob
dyn. [e] Y *mae*'r Arglwydd yn agos.
6 [f] Na ofelwch am ddim: eithr ym mhob
peth mewn gweddi ac ymbil gyd â diolch-
garwch, gwneler eich deisyfiadau chwi yn
hyspys ger bron Duw.
7 A [g] thangnefedd Duw, yr hwn sydd
uwch law pob deall, a geidw eich calonnau
a'ch meddyliau yng Nghrist Iesu.
8 Yn ddiweddaf, frodyr, pa bethau byn-
nag sydd wir, pa bethau bynnag *sydd* † onest,
pa bethau bynnag *sydd* gyfiawn, pa bethau
bynnag *sydd* bur, pa bethau bynnag *sydd*
hawddgar, pa bethau bynnag *sydd* ganmol-
adwy, od *oes* un rhinwedd, ac od *oes* dim
clod, meddyliwch am y pethau hyn.
9 Y rhai a ddysgasoch ac a dderbyniasoch,
ac a glywsoch ac a welsoch ynof fi, y peth-
au hyn gwnewch: a [h] Duw'r heddwch a
fydd gyd â chwi.
10 Mi a lawenychais hefyd yn yr Ar-
glwydd yn fawr, oblegid ‡ i'ch [i] gofal chwi
am danaf fi yr awrhon o'r diwedd adnewyd-
du; yn yr hyn y buoch ofalus hefyd, ond
§ eisiau amser cyfaddas oedd arnoch.
11 Nid am fy mod yn dywedyd o her-
wydd eisiau: canys myfi a ddysgais ym mha
gyflwr bynnag y byddwyf, fod [k] yn foddlon
*iddo.*
12 *Ac* [l] mi a fedraf ymostwng, ac a fedraf
ymhelaethu: ym mhob lle ac ym mhob peth
y'm haddysgwyd, i fod yn llawn ac i fod
yn newynog, i fod mewn helaethrwydd ac i
fod mewn prinder.
13 Yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist
yr hwn sydd yn fy nerthu i.
14 Er hynny, da y gwnaethoch [m] gyd-
gyfrannu â'm gorthrymder i.
15 A chwithau, Philippiaid, hefyd a wydd-
och yn nechreuad yr efengyl, pan aethum
i ymaith o Macedonia, [n] na chyfrannodd un
eglwys â mi o ran rhoddi a derbyn, ond
chwychwi yn unig.
16 Oblegid yn Thessalonica hefyd yr an-
fonasoch i mi unwaith ac eilwaith wrth fy
anghenrhaid.
17 Nid o herwydd fy mod i yn ceisio
rhodd: eithr yr ydwyf yn ceisio [o] ffrwyth yn
amlhâu erbyn eich cyfrif chwi.
18 Ond ‖ y mae gennyf bob peth, ac y
mae gennyf helaethrwydd: mi a gyflawnwyd,
wedi i mi dderbyn gan Epaphroditus y pe-
thau *a ddaethant* oddi wrthych chwi; *sef*
[p] arogl † peraidd, [q] aberth cymmeradwy,
boddlon gan Dduw.
19 A'm Duw i [r] a gyflawna eich holl ‡ raid
chwi [s] yn ol ei olud ef mewn gogoniant, yng
Nghrist Iesu.
20 Ond i Dduw a'n Tad ni *y byddo* gogon-
iant yn oes oesoedd. Amen.
21 Annerchwch yr holl saint yng Nghrist
Iesu. Y mae'r brodyr sy gyd â mi yn eich
annerch.
22 Y mae'r saint oll yn eich annerch chwi,
ac yn bennaf [t] y rhai sydd o deulu Cesar.
23 [u] Gras ein Harglwydd Iesu Grist *fyddo*
gyd â chwi oll. Amen.

¶ At y Philippiaid yr ysgrifenwyd o
Rufain, gyd ag Epaphroditus.

[a] 2 Cor. 1. 14. Pen. 2. 16. 1 Thess. 2. 19, 20
[b] Pen. 1. 27.
[c] Exod. 32. 32. Psal. 69. 28. Dan. 12. 1. Luc 10. 20. Dat. 3. 5. a 20. 12. a 21. 27.
[d] Pen. 3. 1. 1 Thess. 5 16.
[e] Heb. 10. 25. Iago 5. 9. 2 Petr 3. 8, 9.
[f] Psal. 55. 22. Diar. 16. 3. Mat. 6. 25.
[g] Ioan 14. 27. Rhuf. 5. 1. Col. 3. 15.
† *barchedig.*
[h] Rhuf. 15. 33. 2 Cor. 13. 11.
‡ *adnewyddu o honoch, o ran gofalu am danaf fi.*
[i] 2 Cor. 11. 9.
§ *yr oeddych heb gael enyd.*
[k] 1 Tim. 6. 8, 9.
[l] 1 Cor. 4. 11. 2 Cor. 11. 27.
[m] Pen. 1. 7.
[n] 2 Cor. 11. 8, 9.
[o] Rhuf. 15. 28. Tit. 3. 14.
‖ *mi a dderbyniais bob.*
[p] Heb. 13. 16.
† Neu, *pereiddiara.*
[q] 2 Cor. 9. 12.
[r] Psal. 23. 1. 2 Cor. 9. 8.
‡ *eisiau.*
[s] Eph. 1. 7 a 3. 16.
[t] Edrych Pen. 1. 13.
[u] Rhuf. 16. 24.

# ¶ Epistol PAUL yr Apostol at y COLOSSIAID.

## PEN. I.

1 *Ar ol cyfarch iddynt, y mae Paul yn diolch i Dduw am eu ffydd hwy; 7 ac yn cadarnhâu dysgeidiaeth Epaphras; 9 ac yn gweddïo ym mhellach ar iddynt gynnyddu mewn gras: 14 yn portreiadu y gwir Grist; 21 ac yn eu hannog hwy i dderbyn Iesu Grist; ac yn canmol ei weinidogaeth ei hun.*

Bl. yr Argl. 64.

PAUL, apostol Iesu Grist trwy ewyllys
Duw, a Thimothëus *ein* brawd,
2 [a] At y saint a'r ffyddlon frodyr yng
Nghrist y rhai sydd yn Colossa. [b] Gras i
chwi, a thangnefedd oddi wrth Dduw ein
Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.
3 [c] Yr ydym yn diolch i Dduw a Thad
ein Harglwydd Iesu Grist, gan weddïo dro-
soch chwi yn wastadol;
4 Er pan glywsom am eich ffydd yng
Nghrist Iesu, ac am y cariad *sydd gennych* tu
ag at yr holl saint;
5 Er mwyn y gobaith [d] a roddwyd i gadw
i chwi yn y nefoedd, am yr hon y clywsoch
o'r blaen yngair gwirionedd yr efengyl;
6 Yr hon sydd wedi dyfod attoch chwi,
megis ag [e] *y mae* yn yr holl fyd; ac [f] sydd
yn dwyn ffrwyth, megis ag yn eich plith
chwithau, er y dydd y clywsoch, ac y gwy-
buoch ras Duw mewn gwirionedd:
7 Megis ag y dysgasoch gan [g] Epaphras
ein hanwyl gyd-was, yr hwn sydd drosoch
chwi yn ffyddlon weinidog i Grist;
8 Yr hwn hefyd a amlygodd i ni eich
[h] cariad chwi yn yr Yspryd.
9 [i] O herwydd hyn ninnau hefyd, er y
dydd y clywsom, nid ydym yn peidio â
gweddïo drosoch, a deisyf [k] eich cyflawni
chwi â [l] gwybodaeth ei ewyllys ef ym mhob
doethineb a deall ysprydol;
10 [m] Fel y rhodioch yn addas i'r Ar-
glwydd i bob rhyngu bodd, gan ddwyn
ffrwyth ym mhob gweithred dda, a chyn-
nyddu yngwybodaeth am Dduw;
11 Wedi eich nerthu â phob nerth yn ol
† ei gadernid gogoneddus ef, i bob dïoddef-
garwch a hir-ymaros gyd â llawenydd;
12 Gan ddïolch i'r Tad, yr hwn a'n
gwnaeth ni yn gymmwys i *gael* rhan o [n] eti-
feddiaeth y saint yn y goleuni.
13 Yr hwn a'n gwaredodd ni allan o [o] fed-
diant y tywyllwch, ac a'*n* symmudodd i
deyrnas ‡ ei anwyl Fab:
14 [p] Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth
trwy ei waed ef, *sef* maddeuant pechodau.
15 Yr hwn yw [q] delw y Duw anweledig,
[r] cyntaf-anedig pob creadur:
16 Canys [s] trwyddo ef y crewyd pob dim
a'r sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear,
yn weledig ac yn anweledig, pa un bynnag
ai § thronau, ai [t] arglwyddiaethau, ai tywy-
sogaethau, ai meddiannau; pob dim a gre-
wyd [u] trwyddo ef, ac erddo ef.
17 [x] Ac y mae efe cyn pob peth, ac yn-
ddo ef y mae pob peth yn cyd-sefyll.
18 Ac efe [y] yw pen ‖ corph yr eglwys:
*efe* yr hwn yw'r dechreuad, [z] y cyntaf-ane-
dig oddi wrth y meirw; fel y byddai efe yn
blaenori ym † mhob peth.
19 Oblegid rhyngodd bodd i'*r Tad* drigo
o bob cyflawnder [a] ynddo ef;
20 ‡ Ac ([b] wedi iddo wneuthur heddwch
trwy waed ei groes ef) [c] trwyddo ef gym-
modi [d] pob peth ag ef ei hun, trwyddo ef,
*meddaf*, pa un bynnag ai pethau ar y ddaear,
ai pethau yn y nefoedd.
21 A chwithau, [e] y rhai oeddych ddïeithr-
iaid, a gelynion § mewn meddwl trwy weith-
redoedd drwg, yr awrhon ‖ hefyd a gym-
mododd efe,
22 [f] Ynghorph ei gnawd ef trwy farw-
olaeth, [g] i'ch cyflwyno chwi yn sanctaidd,
ac yn ddifeius, ac yn ddïargyoedd, ger ei
fron † ef:
23 Os ydych yn parhâu yn y ffydd wedi
eich seilio a'ch sicrhâu, ac heb eich sym-
mud oddi wrth obaith yr efengyl, yr hon
a glywsoch, *ac* a bregethwyd [h] ym mysg
pob creadur a'r sydd dan y nef; i'r hon y'm
gwnaethpwyd i Paul yn weinidog.
24 [i] Yr hwn ydwyf yn awr yn llawen-
ychu yn fy nïoddefiadau [k] drosoch, ac yn
cyflawni [l] yr hyn sydd yn ol o gystuddiau
Crist yn fy nghnawd i, er mwyn [m] ei gorph
ef, yr hwn yw'r eglwys:
25 I'r hon y'm gwnaethpwyd i yn weini-
dog yn ol [n] goruchwyliaeth Duw, yr hon a
roddwyd i mi tu ag attoch chwi, i ‡ gyf-
lawni gair Duw;
26 *Sef* [o] y dirgelwch oedd guddiedig er oes-
oedd ac er cenhedlaethau, [p] ond yr awrhon
a eglurwyd i'w saint ef:
27 [q] I'r rhai yr ewyllysiodd Duw hys-
pysu beth yw [r] golud gogoniant y dirgel-
wch hwn ym mhlith y Cenhedloedd; yr
hwn yw Crist § ynoch chwi, [s] gobaith y go-
goniant:
28 Yr hwn yr ydym ni yn *ei* bregethu,
gan rybuddio pob dyn, a dysgu pob dyn ym
mhob doethineb; [t] fel y cyflwynom bob
dyn yn berffaith yng Nghrist Iesu:
29 ‖ Am yr hyn yr ydwyf hefyd yn lla-
furio, gan ymdrechu yn ol ei weithrediad
ef, yr hon sydd yn gweithio ynof fi yn
nerthol.

## PEN. II.

1 *Y mae efe etto yn eu hannog hwy i fod yn ddïanwadol yng Nghrist; 8 ac i ochelyd philosophyddiaeth, a thraddodiadau ofer, 18 ac addoli angylion, 20 a seremoniau'r gyfraith, y rhai sydd wedi terfynu yng Nghrist.*

CANYS mi a ewyllysiwn i chwi wybod 64.
pa faint o [a] † ymdrech sydd arnaf er
eich *mwyn* chwi, a'r rhai yn Laodicea, a
chynnifer ag ni welsant fy wyneb i yn y
cnawd;
2 [b] Fel y cysurid eu calonnau hwy, wedi
eu cyd-gyssylltu mewn cariad, ac i bob go-
lud sicrwydd deall, [c] i gydnabyddiaeth dir-
gelwch Duw, a'r Tad, a Christ;
3 [d] Yn yr hwn y mae holl drysorau doeth-
ineb a gwybodaeth yn guddiedig.
4 A hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd, [e] fel
na thwyllo neb chwi ag ymadrodd hygoel.
5 Canys [f] er fy mod i yn absennol yn y
cnawd, er hynny yr ydwyf gyd â chwi yn
yr yspryd, yn llawenychu ac yn gweled
[g] eich trefn chwi, a chadernid eich ffydd
yng Nghrist.
6 [h] Megis gan hynny y derbyniasoch Grist
Iesu yr Arglwydd, *felly* rhodiwch ynddo;
7 [i] Wedi *eich* gwreiddio a'ch adeiladu
ynddo ef, a'ch cadarnhâu yn y ffydd, megis
y'ch dysgwyd, gan gynnyddu ynddi mewn
dïolchgarwch.

[a] Eph. 1. 1. [b] Gal. 1. 3. [c] Eph. 1. 16. Phil. 1. 3. a 4. 6. [d] 1 Petr 1. 4. [e] Mat. 24. 14. Adn. 23. [f] Marc 4. 8. Ioan 15. 16. [g] Pen. 4. 12. Philem. 23. [h] Rhuf. 15. 30. [i] Eph. 1. 15. [k] 1 Cor. 1. 5. [l] Rhuf. 12. 2. [m] Eph. 4. 1. Phil. 1. 27. 1 Thess. 2. 12. † *cadernid ei ogoniant ef.* [n] Act. 26. 18. [o] Eph. 6. 12. Heb. 2. 14. 1 Petr 2. 9. ‡ *Mab ei gariad.* [p] Eph. 1. 7. [q] 2 Cor. 4. 4. Heb. 1. 3. [r] Dat. 3. 14. [s] Ioan 1. 3. 1 Cor. 8. 6. Heb. 1. 2. § *gorseddfeingciau.* [t] Rhuf. 8. 38. Pen. 2. 10, 15. 1 Petr 3. 22. [u] Rhuf. 11. 36. [x] Ioan 1. 1, 3, 4. 1 Cor. 8. 6. [y] Eph. 1. 22. ‖ *y corph, yr eglwys.* [z] Act. 26. 23. 1 Cor. 15. 20, 23. Dat. 1. 5. † *mhlith pawb.*

[a] Ioan 1. 16. a 3. 34. ‡ *A chan wneuthur.* [b] Eph. 2. 14, 15. [c] 2 Cor. 5. 18.

[d] Eph. 1. 10. [e] Eph. 2. 1, 2, 12. § *Neu, trwy feddwl.* ‖ *etto.* [f] Eph. 2 15. [g] Luc 1. 75. Eph. 1. 4. a 5. 27. Tit. 2. 14. † *ei hun.* [h] Adn. 6. [i] 2 Cor. 7. 4. [k] Eph. 3. 1, 13. [l] 2 Cor. 1. 5, 6. 2 Tim. 1. 8, a 2. 10. [m] Eph. 1. 23. [n] Eph. 3. 2. ‡ *lenwi, neu, gyflawn bregethu,* Rhuf. 15. 19. [o] Rhuf. 16. 25. [p] Mat. 13. 11. [q] 2 Cor. 2. 14. [r] Rhuf. 9. 23. Eph. 1. 7. § *yn eich plith chwi.* [s] 1 Tim. 1. 1. [t] 2 Cor. 11. 2. Eph. 5. 27. ‖ *Yn.*

[a] Pen. 1. 29. Phil. 1. 30. 1 Thess. 2. 2. † *ofn, neu, ofal.* [b] 2 Cor. 1. 6. [c] Phil. 3. 8. [d] 1 Cor. 1. 24. [e] Eph. 5. 6. Adn. 18. [f] 1 Cor. 5. 3. [g] 1 Cor. 14. 40. [h] 1 Thess. 4. 1. Judas 3. [i] Eph. 2. 21, 22. a 3. 17.

8 [k] Edrychwch na bo neb yn eich anrheithio trwy philosophi a gwag dwyll, yn ol [l] traddodiad dynion, yn ol [m] egwyddorion y byd, ac nid yn ol Crist.

9 Oblegid [n] ynddo ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorphorol.

10 Ac yr ydych chwi wedi eich cyflawni ynddo ef, [o] yr hwn yw Pen pob [p] tywysogaeth ac awdurdod:

11 Yn yr hwn hefyd y'ch [q] enwaedwyd, ag enwaediad nid o waith llaw, trwy [r] ddïosg corph pechodau y cnawd, yn enwaediad Crist:

12 [s] Wedi eich cyd-gladdu ag ef yn y bedydd, yn yr hwn hefyd y'ch cyd-gyfodwyd trwy [t] ffydd gweithrediad Duw, [u] yr hwn a'i cyfododd ef o feirw.

13 [x] A chwithau, pan oeddych yn feirw mewn camweddau a dïenwaediad eich cnawd, a gyd-fywhaodd efe gyd ag ef, gan faddeu i chwi yr holl gamweddau,

14 [y] Gan ddilëu † ysgrifen-law yr ordeiniadau, yr hon oedd i'n herbyn ni, yr hon oedd yngwrthwyneb i ni, ac a'i cymmerodd hi oddi ar y ffordd, gan ei hoelio wrth y groes;

15 [z] Gan ‡ yspeilio [a] *y* tywysogaethau a'r awdurdodau, efe a'u harddangosodd hwy ar gyhoedd, gan ymorfoleddu arnynt § arni hi.

16 Am hynny na farned neb arnoch chwi [b] am ‖ fwyd neu am ddïod, neu o ran [c] dydd gwyl, neu newydd-loer, neu sabbathau:

17 [d] Y rhai ydynt gysgod pethau i ddyfod; ond y corph *sydd* o Grist.

18 [e] Na † thwylled neb chwi am eich gwobr, wrth ei ‡ ewyllys, mewn gostyngeiddrwydd, § ac addoliad angylion, gan ruthro i bethau [f] ni's gwelodd, wedi ymchwyddo yn ofer gan ei feddwl cnawdol ei hun;

19 Ac heb gyfattal [g] y Pen, o'r hwn y mae yr holl gorph, trwy'r cymmalau a'r cyssylltiadau, yn derbyn lluniaeth, ac wedi ei gyd-gyssylltu, yn cynnyddu gan gynnydd Duw.

20 Am hynny, os ydych [h] wedi meirw gyd â Christ oddi wrth [i] egwyddorion y byd, paham yr ydych, megis pettych yn byw yn y byd, yn ymrôi i ordeiniadau;

21 (Na chyffwrdd; *ac* na archwaetha; *ac* na theimla;

22 Y rhai ydynt oll yn llygredigaeth wrth eu harfer) [k] yn ol gorchymynion ac athrawiaethau dynion?

23 [l] Yr hyn bethau sydd ganddynt rith doethineb mewn [m] ewyllys-grefydd a gostyngeiddrwydd, a bod ‖ heb arbed y corph, nid mewn bri i ddigoni'r cnawd.

k Jer. 29. 8. Rhuf. 16. 17. Heb. 13. 9. l Mat. 15. 2. Gal. 1. 14. m Gal. 4. 3, 9. Adn. 20. n Pen. 1. 19. o Eph. 1. 20. p Pen. 1. 16. q Deut. 30. 6. Jer. 4. 4. Rhuf. 2. 29. Phil. 3. 3. r Rhuf. 6. 4. Pen. 3. 8, 9. s Rhuf. 6. 4. t Eph. 1. 19. a 3. 7. u Act. 2. 24. x Eph. 2. 1, 5, 6, 11. y Eph. 2. 15, 16. † *yr ysgrifen-law mewn ordeiniadau.* z Gen. 3. 15. Psal. 68. 18. Esay 53. 12. Mat. 12. 29. Luc 11. 22. Ioan 12. 31. a 16. 11. ‡ *ddadwisgo.* a Eph. 6. 12. § *Neu, ynddo ei hun.* b Rhuf. 14. 3, 10, 13. ‖ *fwytta ac yfed.* c Gal. 4. 10. d Heb. 8. 5. a 10. 1. e Adn. 4. † *farned neb i'ch erbyn.* ‡ *fympwy.* § *a chrefydd.* f Ezec. 13. 3. 1 Tim. 1. 7. g Eph. 4. 15, 16.

h Rhuf. 6. 3, 5, a 7. 4, 6. Gal. 2. 19. i Adn. 8. k Esay 29. 13. Mat. 15. 8, 9. Tit. 1. 14. l 1 Tim. 4. 8. m Adn. 18. ‖ *yn cospi, neu, diystyru.*

## PEN. III.

1 *Y mae efe yn dangos pa le y dylem ni geisio Crist;* 5 *ac yn ein hannog i'n marwolaethu ein hunain,* 10 *i ddïosg yr hen ddyn, ac i wisgo Crist am danom:* 12 *yn ein cynghori ni i gariad perffaith, a gostyngeiddrwydd, ac amryw rinweddau eraill.*

64.

AM hynny os [a] cyd-gyfodasoch gyd â Christ, ceisiwch y pethau *sydd* uchod, lle mae [b] Crist yn eistedd ar ddeheu-law Duw.

2 Rhoddwch eich † serch ar bethau *sydd* uchod, nid ar bethau *sy* ar y ddaear.

3 [c] Canys meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gyd â Christ yn Nuw.

4 [d] Pan ymddangoso Crist ein bywyd ni, yna hefyd yr ymddangoswch chwithau gyd ag ef [e] mewn gogoniant.

5 [f] Marwhêwch gan hynny [g] eich aelodau y rhai sy ar y ddaear; [h] godineb, aflendid, gwŷn, drygchwant, a chybydd-dod, [i] yr hon sydd eilun-addoliaeth:

6 [k] O achos yr hyn bethau y mae digofaint Duw yn dyfod ar [l] blant yr anufudd-dod.

7 [m] Yn y rhai hefyd y rhodiasoch chwithau gynt, pan oeddych yn byw ynddynt.

8 Ond [n] yr awrhon rhoddwch chwithau ymaith yr holl bethau hyn; digter, llid, drygioni, cabledd, serthedd, allan o'ch genau.

9 [o] Na ddywedwch gelwydd wrth eich gilydd, [p] gan ddarfod i chwi ddïosg yr hen ddyn ynghŷd â'i weithredoedd;

10 A gwisgo'r newydd, yr hwn [q] a adnewyddir mewn gwybodaeth, [r] yn ol delw yr hwn [s] a'i creodd ef.

11 Lle nid oes na [t] Groegwr nac Iuddew, enwaediad na dïenwaediad, Barbariad *na* Scythiad, caeth *na* rhŷdd: ond Crist *sydd* bob peth, ac ym mhob peth.

12 [u] Am hynny (megis etholedigion Duw, sanctaidd ac anwyl) gwisgwch am danoch ymysgaroedd trugareddau, cymmwynasgarwch, gostyngeiddrwydd, addfwynder, ymaros;

13 Gan gyd-ddwyn â'ch gilydd, a maddeu i'ch gilydd, os bydd gan neb ‡ gweryl yn erbyn neb: megis ag y maddeuodd Crist i chwi, felly *gwnewch* chwithau.

14 Ac am ben hyn oll, *gwisgwch* gariad, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd.

15 A llywodraethed [x] tangnefedd Duw yn eich calonnau, i'r hwn hefyd y'ch galwyd [y] yn un corph; a byddwch ddïolchgar.

16 Preswylied gair Crist ynoch yn § helaeth ym mhob doethineb; gan ddysgu a rhybuddio bawb eich gilydd [z] mewn psalmau, a hymnau, ac odlau ysprydol, gan ganu ‖ [a] trwy ras yn eich calonnau i'r Arglwydd.

17 A [b] pha beth bynnag a wneloch, ar air neu *ar* weithred, *gwnewch* bob peth yn enw'r Arglwydd Iesu, [c] gan ddïolch i Dduw a'r Tad trwyddo ef.

18 [d] *Y* gwragedd, ymostyngwch i'ch gwŷr prïod, megis y mae yn weddus yn yr Arglwydd.

19 [e] *Y* gwŷr, cerwch *eich* gwragedd, ac na fyddwch chwerwon wrthynt.

20 [f] *Y* plant, ufuddhêwch i'*ch* rhïeni [g] ym mhob peth: canys hyn sydd yn rhyngu bodd i'r Arglwydd yn dda.

21 [h] *Y* tadau, na chyffrôwch eich plant, fel na ddigalonnont.

22 [i] *Y* gweision, ufuddhêwch [k] ym mhob peth i'*ch* meistraid yn ol y cnawd; nid â llygad-wasanaeth, fel boddlonwŷr dynion, eithr mewn symlrwydd calon, yn ofni Duw:

23 A pha beth bynnag a wneloch, gwnewch o'r galon, megis i'r Arglwydd, ac nid i ddynion;

24 Gan wybod mai gan yr Arglwydd y derbyniwch daledigaeth yr etifeddiaeth: canys yr Arglwydd Grist yr ydych yn ei wasanaethu.

a Rhuf. 6. 5. Eph. 2. 6. Pen. 2. 12. b Eph. 1. 20.

† *bryd.* c Rhuf. 6. 2. Gal. 2. 20. Pen. 2. 20. d 1 Ioan 3. 2. e 1 Cor. 15. 43. f Rhuf. 8. 13. g Rhuf. 6. 13. h Eph. 5. 3. i Eph. 5. 5. k Eph. 5. 6. Dat. 22. 15. l Eph. 2. 2. m Rhuf. 7. 5. 1 Cor. 6. 11. Tit. 3. 3. n Eph. 4. 22. 1 Petr 2. 1. o Eph. 4. 29. p Eph. 4. 22, 24. q Rhuf. 12. 2. r Eph. 4. 23, 24. s Eph. 2. 10. t Rhuf. 10. 12. 1 Cor. 12. 13. Gal. 3. 28. a 5. 6. u Eph. 4. 32. Rhuf. 14. 17. ‡ *achwyn.* x Phil. 4. 7. y Eph. 4. 4. § *gyfoethog.* z 1 Cor. 14 26. Eph. 5. 19. ‖ *yn rasol.* a Pen. 4. 6. b 1 Cor. 10. 31. c Rhuf. 1. 8. Eph. 5. 20. Heb. 13. 15. d Eph. 5. 22. Tit. 2. 5. 1 Petr 3. 1. e Eph. 5. 25. 1 Petr 3. 7. f Eph. 6. 1. g Eph. 5. 24. Tit. 2. 9. h Eph. 6. 4. i Eph. 6. 5, &c. 1 Tim. 6. 1. Tit. 2. 9. 1 Petr 2. 18 k Adn. 20.

1 Rhuf. 2. 11. 25 Ond yr hwn sydd yn gwneuthur cam,
Eph. 6. 9. a dderbyn *am* y cam a wnaeth: ac [l] nid oes
1 Petr 1. 17. derbyn wyneb.

PEN. IV.

1 *Y mae efe yn eu hannog hwy i fod yn wresog*
*mewn gweddi; 5 i rodio yn ddoeth tu ag at*
*y rhai ni ddaethant etto i wir wybodaeth*
*am Grist: 10 ac yn eu hannerch hwy; ac*
*yn ewyllysio iddynt bob rhyw lwyddiant.*

64. [a] Y Meistraid, gwnewch i'ch gweision yr
a Eph. 6. 9. hyn *sydd* gyfiawn ac uniawn; gan
b Luc 18. 1. wybod fod i chwithau Feistr yn y nefoedd.
Rhuf. 12. 12. 2 [b] Parhewch mewn gweddi, gan wylied
Eph. 6. 18. ynddi † gyd â diolchgarwch;
1 Thess. 5. 17. 3 [c] Gan weddio hefyd drosom ninnau, ar
i Dduw [d] agori i ni ddrws ymadrodd, i ad-
† *mewn diolchgarwch.* rodd [e] dirgelwch Crist, am yr hwn yr ydwyf
hefyd mewn rhwymau:
c Eph. 6. 19. 4 Fel yr eglurhawyf ef, megis y mae yn
2 Thess. 3. 1. rhaid i mi *ei* draethu.
5 [f] Rhodiwch mewn doethineb tu ag at
d 1 Cor. 16. 9. y rhai *sy* allan, [g] gan brynu 'r amser.
6 *Bydded* eich ymadrodd bob amser ‡ [h] yn
2 Cor. 2. 12. rasol, [i] wedi ei dymheru â halen, fel y gwy-
poch pa fodd y mae yn rhaid i chwi atteb i
e Mat. 13. 11. § bob dyn.
1 Cor. 4. 1. 7 [k] Fy holl helynt i a fynega Tychicus i
Eph. 6. 19. chwi, y brawd anwyl, a'r gweinidog ffydd-
Pen. 1. 26. a 2. 2. lon, a'r cyd-was yn yr Arglwydd:
f Eph. 5. 15. 8 Yr hwn a ddanfonais attoch er mwyn
hyn, fel y gwybyddai eich helynt chwi, ac
1 Thess. 4. 12. y diddanai eich calonnau chwi;
g Eph. 5. 16. 9 Gyd ag [l] Onesimus, y ffyddlon a'r an-
wyl frawd, yr hwn sydd o honoch chwi.

‡ *mewn gras.* h Pen. 3. 16. i Marc 9. 50. § *pob math ar ddyn.* k Eph. 6. 21. l Philem. 10.

Hwy a hyspysant i chwi bob peth a *wneir*
yma.
10 Y mae [m] Aristarchus, fy nghyd-gar- m Act. 19. 29. a 27. 2.
charor, yn eich annerch; a [n] Marc, nai Philem. 24.
Barnabas fab ei chwaer, (am yr hwn y n Act. 15.
derbyniasoch orchymynion: os daw efe 37.
attoch, derbyniwch ef) 2 Tim. 4
11 A Jesus, yr hwn a elwir Justus, y rhai 11.
ydynt o'r enwaediad. Y rhai hyn yn unig
*yw fy* nghyd-weithwŷr i deyrnas Dduw, y
rhai a fuant yn gysur i mi.
12 Y mae [o] Epaphras, yr hwn sydd o o Pen. 1. 7.
honoch, gwas Crist, yn eich annerch; [p] gan Philem. 23.
‖ ymdrechu yn wastadol drosoch mewn p Rhuf. 15.
gweddïau, ar i chwi sefyll [q] yn berffaith 30.
ac yn gyflawn ynghwbl o ewyllys Duw. ‖ *ymegnïo.*
13 Canys yr ydwyf yn dyst iddo, fod q Mat. 5. 48.
ganddo zel mawr trosoch chwi, a'r rhai o 1 Cor. 14.
Laodicea, a'r rhai o Hïerapolis. 20.
14 Y mae [r] Luc y physygwr anwyl, a r 2 Tim. 4.
[s] Demas, yn eich annerch. 11.
15 Annerchwch y brodyr *sydd* yn Lao- s 2 Tim. 4. 10.
dicea, a Nymphas, [t] a'r eglwys *sydd* yn ei t Rhuf. 16.
dŷ ef. 5.
16 Ac wedi darllain [u] yr epistol *hwn* 1 Cor. 16.
gyd â chwi, perwch ei ddarllain hefyd yn 19.
eglwys y Laodiceaid; a darllain o honoch u 1 Thess.
chwithau yr un o Laodicea. 5. 27.
17 A dywedwch wrth [x] Archippus, Edrych x Philem. 2.
at y weinidogaeth a dderbyniaist yn yr Ar- y 1 Cor. 16.
glwydd, ar i ti ei chyflawni hi. 21.
18 [y] Yr annerch â'm llaw i Paul fy hun. 2 Thess. 3. 17.
[z] Cofiwch fy rhwymau. Gras *fyddo* gyd â z Heb. 13.
chwi. Amen. 3.
¶ At y Colossiaid yr ysgrifenwyd o Ru-
fain, gyd â Thychicus ac Onesimus.

# ¶ Epistol cyntaf PAUL yr Apostol at y THESSALONIAID.

PEN. I.

1 *Paul yn dwyn ar ddeall i'r Thessaloniaid,*
*nid yn unig mor feddylgar oedd efe am*
*danynt hwy bob amser, mewn diolchgarwch*
*a gweddi; 5 eithr hefyd gystal yr oedd efe*
*yn tybied am wirionedd a phurdeb eu ffydd*
*hwynt, a'u dychweliad at Dduw.*

Bl. yr Argl. PAUL, a [a] Silfanus, a Thimotheüs, at eg-
lwys y Thessaloniaid, yn Nuw Dad, a'r
54. Arglwydd Iesu Grist. [b] Gras i chwi a
a 2 Cor. 1. 19. thangnefedd, oddi wrth Dduw ein Tad, a'r
2 Thess. 1. 1. Arglwydd Iesu Grist.
1 Petr 5. 12. 2 [c] Yr ydym yn diolch i Dduw yn was-
tadol drosoch chwi oll, gan wneuthur coffa
b Eph. 1. 2. am danoch yn ein gweddïau,
c Rhuf. 1. 8. 3 Gan gofio yn ddibaid [d] waith eich
ffydd chwi, a llafur *eich* cariad, ac ymaros
Eph. 1. 16. *eich* gobaith yn ein Harglwydd Iesu Grist,
Philem. 4. ger bron Duw a'n Tad;
d Ioan 6. 29. 4 Gan wybod, frodyr † anwyl, [e] eich
Gal. 5. 6. etholedigaeth chwi gan Dduw.
Iago 2. 17. 5 Oblegid [f] ni bu ein hefengyl ni tu ag
† *a garwyd gan* attoch mewn gair yn unig, eithr hefyd
*Dduw, eich* mewn nerth, ac [g] yn yr Yspryd Glân, ac
*etholedigaeth* mewn sicrwydd mawr; megis [h] y gwy-
*chwi.* ddoch chwi pa fath rai a fuom ni yn eich
e Col. 3. 12. plith, er eich mwyn chwi.
2 Thess. 2. 13. 6 A [i] chwi a aethoch yn ddilynwŷr i ni,
ac i'r Arglwydd, wedi derbyn y gair mewn
f 1 Cor. 4. 20. gorthrymder mawr, [k] gyd â llawenydd yr
Yspryd Glân:
g 2 Cor. 6. 6. 7 Hyd onid aethoch yn siamplau i'r rhai
oll sydd yn credu ym Macedonia ac *yn*
h Pen. 2. 1. Achaia.

a 5. 10, 11. i 1 Cor. 11. 1. Phil. 3. 17. 2 Thess. 3. 9. k Act. 5. 41. Heb. 10. 31.

8 Canys oddi wrthych chwi y seiniodd
gair yr Arglwydd, nid yn unig ym Mace-
donia ac *yn* Achaia, ond [l] ym mhob man l Rhuf. 1.
hefyd eich ffydd chwi ar Dduw a aeth ar 8.
led, fel nad rhaid i ni ddywedyd dim. m Rhuf. 1.
9 Canys y maent hwy yn mynegi am 7.
danom ni, pa ryw ddyfodiad i mewn a Phil. 3. 20.
gawsom ni attoch chwi, a pha fodd y troi- Tit. 2. 13.
soch at Dduw oddi wrth eilunod, i wasa- n Act. 2. 24.
naethu 'r bywiol a'r gwir Dduw; o Mat. 3. 7.
10 Ac [m] i ddisgwyl am ei Fab ef o'r nef- Rhuf. 5. 9.
oedd, [n] yr hwn a gyfododd efe o feirw, *sef* Pen. 5. 9.
Iesu, yr hwn a'n gwaredodd ni [o] oddi wrth
y digofaint sydd ar ddyfod.

PEN. II.

1 *Pa fodd y daeth, ac y pregethwyd yr efengyl*
*i'r Thessaloniaid; a pha fodd y derbynias-*
*ant hwythau hi. 18 Yr achos paham y bu*
*S. Paul cyhyd yn absennol oddi wrthynt*
*hwy; a phaham yr ydoedd efe mor chwan-*
*nog i'w gweled hwynt.*

CANYS [a] chwi eich hunain a wyddoch, 54.
frodyr, ein dyfodiad ni i mewn attoch, a Pen. 1.
nad ofer fu: 5, 9.
2 Eithr wedi i ni ddïoddef o'r blaen, a b Act. 16.
[b] chael ammharch, fel y gwyddoch chwi, 22.
yn Philippi, ni a fuom hŷ yn ein Duw [c] i c Act. 17. 2.
lefaru wrthych chwi efengyl Dduw [d] trwy d Phil. 1.
fawr ymdrech. 30.
Col. 2. 1.
3 Canys ein cyngor ni nid *oedd* o hudol- e 1 Tim. 1.
iaeth, nac o aflendid, nac mewn twyll: 11, 12.
4 Eithr megis [e] y'n † cyfrifwyd ni gan † *deimwyd*
Dduw yn addas [f] i ymddiried i ni am yr *gan Dduw*
efengyl, felly yr ydym yn llefaru; [g] nid me- *i ymddiried.*

f Gal. 2. 7. Tit. 1. 3. g Gal. 1. 10.

gis yn rhyngu bodd i ddynion, ond i Dduw, yr hwn sydd yn profi ein calonnau ni.

5 Oblegid [h] ni fuom ni un amser mewn ymadrodd gwenhieithus, fel y gwyddoch chwi, nac mewn rhith cybydd-dod; [i] Duw yn dyst:

6 [k] Nac yn ceisio moliant gan ddynion, na chennych chwi, na chan eraill; lle [l] y gallasem [m] † bwyso *arnoch*, fel apostolion Crist.

7 Eithr [n] ni a fuom addfwyn yn eich mysg chwi, megis mammaeth yn maethu ei phlant.

8 Felly, gan eich hoffi chwi, ni a welsom yn dda gyfrannu â chwi, nid yn unig efengyl Dduw, ond [o] ein heneidiau ein hunain hefyd, am eich bod yn anwyl gennym.

9 Canys cof yw gennych, frodyr, ein llafur a'n lludded ni: canys [p] gan weithio nos a dydd, fel na phwysem ar neb o honoch, ni a bregethasom i chwi efengyl Dduw.

10 Tystion *ydych* chwi, a Duw *hefyd*, [q] mor sanctaidd, ac mor gyfiawn, a diargyoedd, yr ymddygasom yn eich mysg chwi y rhai ydych yn credu:

11 Megis y gwyddoch, y modd *y buom* yn eich cynghori, ac yn eich cysuro, bob un o honoch, fel tad ei blant ei hun,

12 Ac yn ‡ ymbil, [r] ar rodio o honoch yn § deilwng i Dduw, yr hwn a'ch galwodd chwi i'w deyrnas a'i ogoniant.

13 Oblegid hyn yr ydym ninnau hefyd yn diolch i Dduw yn ddibaid, o herwydd i chwi, pan dderbyniasoch air Duw yr hwn a glywsoch gennym ni, *ei* dderbyn *ef* [s] nid *fel* gair dyn, eithr (fel y mae yn wir) yn air Duw, yr hwn hefyd sydd yn nerthol-weithio ynoch chwi y rhai sydd yn credu.

14 Canys chwychwi, frodyr, a wnaethpwyd yn ddilynwŷr i eglwysi Duw, y rhai yn Judea sydd yng Nghrist Iesu; oblegid [t] chwithau a ddïoddefasoch y pethau hyn gan eich cyd-genedl, megis hwythau gan yr Iuddewon:

15 Y rhai a laddasant yr Arglwydd Iesu, [u] a'u prophwydi eu hunain, ac a'n ‖ herlidiasant ninnau ymaith; ac *ydynt* heb ryngu bodd Duw, ac yn erbyn pob dyn;

16 [x] Gan warafun i ni lefaru wrth y Cenhedloedd, fel yr iacheid hwy, [y] i gyflawni eu pechodau hwynt yn wastadol: canys digofaint *Duw* a ddaeth arnynt hyd yr eithaf.

17 A ninnau, frodyr, wedi ein gwneuthur yn ymddifaid am danoch dros ennyd awr, yngolwg, nid yngh alon, a fuom fwy astud i weled eich wyneb chwi mewn awydd mawr.

18 Am hynny 'r ewyllysiasom ddyfod attoch (myfi Paul) yn ddïau, unwaith a dwywaith hefyd; eithr [z] Satan a'n lluddiodd ni.

19 Canys [a] beth *yw* ein gobaith ni, neu *ein* llawenydd, neu goron *ein* † gorfoledd? onid chwychwi, ger bron ein Harglwydd Iesu Grist yn ei ddyfodiad ef?

20 Canys chwychwi yw ein gogoniant a'n llawenydd ni.

PEN. III.

1 *S. Paul yn tystiolaethu ei fawr gariad tu ag at y Thessaloniaid, trwy anfon Timotheus attynt hwy, i'w cadarnhâu, ac i'w diddanu: trwy lawenychu yn eu gweithredoedd da hwy; 10 a thrwy weddïo drostynt, a dymuno cael dyfod yn ddïogel attynt.*

AM hynny, [a] gan na allem ymattal yn hŵy, ni a welsom yn dda ein gadael ni ein hunain yn Athen;

h Act. 20. 33. 2 Cor. 2. 17. a 7. 2. a 12. 17. i 1 Tim. 2. 7. k Ioan 5. 41, 44. a 12. 43. l 2 Cor. 10. 1, 2, 10, 11. Phil. 8. 9. m 1 Cor. 9. 2. 2 Thess. 3. 9. † *gymmeryd awdurdod.* n 1 Cor. 2. 3. 2 Cor. 13. 4. o 2 Cor. 12. 15. p Act. 20. 34. 1 Cor. 4. 12. 2 Cor. 11. 9. q 2 Thess. 3. 8. ‡ *tystiolaethu.* r Eph. 4. 1. Phil. 1. 27. Col. 1. 10. Pen. 4. 1. § *addas.* s Mat. 10. 40. Gal. 4. 14. 2 Petr 3. 2. t Act. 17. 5, 13. u Mat. 23. 34, 37. Luc 13. 33. ‖ *hymlidiasant.* x Act. 13. 50. a 14. 5, 19. a 17. 5, 13. a 18. 12. a 19. 9. y Gen. 15. 16. Mat. 23. 32. z Rhuf. 1. 13. a 15. 22. a 2 Cor. 1. 14. Phil. 4. 1. † *gogoniant?* 54. a Adn. 5.

2 Ac a ddanfonasom [b] Timotheus, ein brawd, a gweinidog Duw, a'n cyd-weithiwr yn efengyl Grist, i'ch cadarnhâu chwi, ac i'ch diddanu ynghylch eich ffydd;

3 [c] Fel na chynhyrfid neb yn y gorthrymderau hyn: canys chwychwi eich hunain a wyddoch [d] mai i hyn y'n gosodwyd ni.

4 Canys yn wir pan oeddym gyd â chwi, ni a rag-ddywedasom *i chwi* y gorthrymmid ni; megis y bu, ac y gwyddoch chwi.

5 O herwydd hyn, [e] minnau, heb allu ymattal yn hŵy, a ddanfonais i *gael* gwybod eich ffydd chwi; rhag darfod i'r temtiwr eich temtio chwi, a [f] myned ein llafur ni yn ofer.

6 Eithr yr awrhon, wedi dyfod Timotheus attom oddi wrthych, a dywedyd i ni newyddion da am eich ffydd chwi a'ch cariad, a bod gennych goffa da am danom ni yn wastadol, gan hiraethu am ein gweled ni, megis *yr ydym* ninnau *am* eich *gweled* chwithau;

7 Am hynny y cawsom gysur, frodyr, † am danoch chwi, yn ein holl orthrymder a'n hangenoctid, trwy eich ffydd chwi.

8 Oblegid yr awrhon byw ydym ni, os ydych chwi yn sefyll yn yr Arglwydd.

9 Canys pa ddïolch a allwn *ni* ei ad-dalu i Dduw ‡ am danoch chwi, am yr holl lawenydd â'r hwn yr ydym ni yn llawen o'ch achos chwi ger bron ein Duw ni,

10 [g] Gan weddïo mwy nâ mwy, nos a dydd, ar *gael* gweled eich wyneb chwi, a chyflawni diffygion eich ffydd chwi?

11 A Duw ei hun a'n Tad ni, a'n Harglwydd Iesu Grist, a gyfarwyddo ein ffordd ni attoch chwi.

12 A'r Arglwydd a'ch llïosogo, ac a'ch 'chwanego ym mhob cariad [h] i'ch gilydd, ac i bawb, megis ag *yr ydym* ninnau i chwi:

13 I [i] gadarnhâu eich calonnau chwi yn ddïargyoedd mewn sancteiddrwydd ger bron Duw a'n Tad, yn nyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist gyd â'i holl saint.

PEN. IV.

1 *Y mae efe yn eu hannog hwynt i fyned rhagddynt mewn pob math ar dduwioldeb: 6 i fyw yn sanctaidd, ac yn gyfiawn; 9 i garu eu gilydd; 11 a thrwy lonyddwch, i wneuthur y pethau a berthyn iddynt eu hunain: 13 ac yn ddiweddaf, i dristâu yn gymhedrol dros y meirw. 15 A chyd â'r cyngor diweddaf hwn, y mae efe yn cysylltu dosparth byr o'r adgyfodiad, ac o ail-ddyfodiad Crist i'r farn.*

YM mhellach gan hynny, frodyr, yr ydym yn attolwg i chwi, ac yn † deisyf yn yr Arglwydd Iesu, megis y derbyniasoch gennym [a] pa fodd y dylech rodio a boddloni Duw, ar i chwi gynnyddu fwyfwy.

2 Canys chwi a wyddoch pa orchymynion a roddasom i chwi trwy 'r Arglwydd Iesu.

3 Canys hyn yw [b] ewyllys Duw, *sef* eich sancteiddiad chwi, ar ymgadw o honoch rhag godineb:

4 Ar fedru o bob un o honoch feddiannu ei lestr ei hun mewn sancteiddrwydd a pharch;

5 Nid mewn gwŷn trachwant, [c] megis y Cenhedloedd [d] y rhai nid adwaenant Dduw:

6 [e] Na byddo i *neb* orthrymmu na thwyllo ei frawd mewn dim: canys dïalydd *yw*'r Arglwydd ‡ ar y rhai hyn oll, megis y dywedasom i chwi o'r blaen, ac y tystiasom.

b Rhuf. 16. 21. c Eph. 3. 13. d Act. 14. 22. 2 Tim. 3. 12. 1 Petr 2. 21. e Adn. 1. f Gal. 2. 2. a 4. 11. Phil. 2. 16. † *ynoch.* ‡ *trosoch chwi.* g Rhuf. 1. 10, 11. h Pen. 5. 15. 2 Petr 1. 7. i 1 Cor. 1. 8. Phil. 1. 10. Pen. 5. 23. 2 Thess. 2. 17. 1 Ioan 3. 20. 54. † *annog.* a Pen. 2. 12. b Rhuf. 12. 2. c Eph. 4. 17, 18. d 1 Cor. 15. 34. Eph. 4. 18. e 1 Cor. 6. 7, &c. ‡ *am.*

7 Canys ni alwodd Duw nyni i aflendid,
ond f i sancteiddrwydd.
8 Am hynny g y neb sydd yn † dirmygu,
nid dyn y mae yn ei ddirmygu, ond Duw,
h yr hwn hefyd a roddes ei Yspryd Glân
‡ ynom ni.
9 Ond am frawdgarwch, nid rhaid i
chwi 'sgrifenu o honof attoch: canys i yr
ydych chwi eich hunain wedi eich dysgu
gan Dduw k i garu eich gilydd.
10 Oblegid yr ydych yn gwneuthur hyn
i bawb o'r brodyr y rhai sy trwy holl Macedonia:
ond yr ydym yn attolwg i chwi, frodyr,
gynnyddu o honoch fwyfwy;
11 A rhoddi o honoch eich bryd ar fod
yn llonydd, a l gwneuthur eich gorchwylion
eich hunain, a m gweithio â'ch dwylaw
eich hunain (megis y gorchymynasom i
chwi)
12 Fel n y rhodioch yn weddaidd tu ag
at y rhai sy oddi allan, ac na byddo arnoch
eisiau § dim.
13 Ond ni ewyllysiwn, frodyr, i chwi fod
heb wybod am y rhai a hunasant, na thristaoch,
o megis eraill y rhai nid oes ganddynt
obaith.
14 Canys p os ydym yn credu farw Iesu,
a'i adgyfodi; felly q y rhai a hunasant yn
yr Iesu, a ddwg Duw hefyd gyd ag ef.
15 Canys hyn yr ydym yn ei ddywedyd
wrthych r yngair yr Arglwydd, s na bydd
i ni y rhai byw, y rhai a adewir hyd ddyfodiad
yr Arglwydd, rag-flaenu y rhai a
hunasant.
16 Oblegid t yr Arglwydd ei hun a ddisgyn
o'r nef gyd â || bloedd, â llef yr archangel,
ac u ag udgorn Duw: a'r meirw yng
Nghrist a gyfodant yn gyntaf:
17 Yna ninnau y rhai byw, y rhai a adawyd,
a gipir i fynu gyd â hwynt, x yn y
cymmylau, i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr
awyr: ac felly y y byddwn yn wastadol
gyd â'r Arglwydd.
18 Am hynny † diddenwch eich gilydd
â'r ymadroddion hyn.

f Lef. 11. 44. a 19. 2. Rhuf. 1. 7. g Luc 10. 16. † gwrthod. h 1 Cor. 7. 40. ‡ i ni. i Jer. 31. 34. Heb. 8. 11. 1 Ioan 2. 20, 27. k Ioan 13. 34 a 15. 12. Eph. 5. 2. 1 Petr 4. 8. l 2 Thess. 3. 11. 1 Petr 4. 15. m 2 Thess. 3. 7, 8, 12. n Col. 4. 5. § neb. o Deut. 14. 1, 2. 2 Sam. 12. 20. p 1 Cor. 15. 13. q 1 Cor. 15. 18, 23. r 1 Bren. 13. 17, 18. a 20. 35. s 1 Cor. 15. 51. t Mat. 24. 31. 2 Thess. 1. 7. || gawr. u 1 Cor. 15. 52. x Act. 1. 9. Dat. 11. 12. y Ioan 12. 26. a 14. 3. a 17. 24. † cynghorwch.

## PEN. V.

1 *Y mae efe yn myned rhagddo, ac yn dangos (fel o'r blaen) ddull dyfodiad Crist i'r farn; 12 ac yn rhoddi amryw orchymynion; 23 ac felly yn diweddu ei epistol.*

54.
EITHR am a yr amserau a'r prydiau, frod-
yr, nid rhaid i chwi 'sgrifenu o honof
attoch.
2 Oblegid chwi a wyddoch eich hunain
yn hyspys, mai b felly y daw dydd yr Arglwydd
fel lleidr yn y nos.
3 Canys pan ddywedant, Tangnefedd a
diogelwch: yna c y mae dinystr disymmwth
yn dyfod ar eu gwarthaf, megis
gwewyr esgor ar un a fo beichiog; ac ni
ddiangant hwy ddim.
4 Ond chwychwi, frodyr, nid ydych mewn
tywyllwch, fel y goddiweddo y dydd hwnnw
chwi megis lleidr.
5 Chwychwi oll, d plant y goleuni ydych,
a phlant y dydd: nid ydym ni o'r nos, nac
o'r tywyllwch.
6 Am hynny na chysgwn, fel † rhai eraill;
eithr e gwyliwn, a byddwn sobr.
7 Canys f y rhai a gysgant, y nos y cysgant;
a'r rhai a feddwant, y nos y meddwant.
8 Eithr nyni, y rhai ŷm o'r dydd,
byddwn sobr, g wedi ymwisgo â dwyfronneg
ffydd a chariad, ac â gobaith iachawdwriaeth
yn lle helm.
9 Canys h nid appwyntiodd Duw nyni i
ddigofaint, ond i gaffael iachawdwriaeth
trwy ein Harglwydd Iesu Grist,
10 i Yr hwn a fu farw drosom; fel pa
un bynnag a wnelom ai gwylied, ai cysgu,
y byddom fyw gyd ag ef.
11 O herwydd paham cynghorwch eich
gilydd, ac adeiledwch bob un eich gilydd,
megis ag yr ydych yn gwneuthur.
12 Ac yr ydym yn attolwg i chwi, frodyr,
k adnabod y rhai sy yn llafurio yn eich
mysg, ac yn eich llywodraethu chwi yn yr
Arglwydd, ac yn eich ‡ rhybuddio;
13 A gwneuthur cyfrif mawr o honynt
mewn cariad, er mwyn eu gwaith. Byddwch
dangnefeddus yn eich plith eich hunain.
14 Ond yr ydym yn deisyf arnoch, frod-
yr, l rhybuddiwch y rhai § afreolus, diddenwch
y gwan eu meddwl, m cynhaliwch
y gweiniaid, byddwch ymarhous wrth
bawb.
15 n Gwelwch na thalo neb ddrwg dros
ddrwg i neb: eithr yn wastadol o dilynwch
yr hyn sydd dda, || tu ag at eich gilydd, a
thu ag at bawb.
16 p Byddwch lawen yn wastadol.
17 q Gweddïwch yn ddibaid.
18 r Ym mhob dim dïolchwch: canys hyn
*yw* ewyllys Duw yng Nghrist Iesu † tu ag
attoch chwi.
19 s Na ddiffoddwch yr Yspryd.
20 Na ddirmygwch brophwydoliaethau.
21 t Profwch bob peth: deliwch yr hyn
sy dda.
22 u Ymgedwch rhag pob ‡ rhith drygioni.
23 A x gwir Dduw y tangnefedd y a'ch
sancteiddio yn gwbl oll: a chadwer eich
yspryd oll, a'ch enaid, a'ch corph, yn ddiargyoedd
yn nyfodiad ein Harglwydd Iesu
Grist.
24 z Ffyddlon *yw*'r hwn a'ch galwodd, yr
hwn hefyd a'i gwna.
25 O frodyr, gweddïwch drosom.
26 a Anherchwch yr holl frodyr â chusan
sancteiddiol.
27 Yr ydwyf yn eich tynghedu yn yr Arglwydd,
ar ddarllain b y llythyr hwn i'r holl
frodyr sanctaidd.
28 c Gras ein Harglwydd Iesu Grist *fyddo*
gyd â chwi. Amen.

¶ Y cyntaf at y Thessaloniaid a 'sgrifenwyd o Athen.

d Eph. 5. 8. † y tywyll. e Mat. 24. 42. a 25. 13. Rhuf. 13. 11, 12. 1 Petr 5. 8. f Luc 21. 34. Rhuf. 13. 13. 1 Cor. 15. 34. g Esay 59. 17. Eph. 6. 14, 16, 17. h Rhuf. 9. 22. Pen. 1. 10. i Rhuf. 14. 8, 9. 1 Petr 2. 8. k 1 Cor. 16. 18. Phil. 2. 29. Heb. 13. 7, 17. ‡ cynghori. l 2 Thess. 3. 11, 12. § allan o drefn. m Rhuf. 15. 1. Gal. 6. 1, 2. n Diar. 17. 13. a 20. 22. a 24. 29. Mat. 5. 39, 44. Rhuf. 12. 17. 1 Cor. 6. 7. 1 Petr 3. 9. o Gal. 6. 10. Pen. 3. 12. || ym mhlith eich. p Phil. 4. 4. q Luc 18. 1. Eph. 6. 18. Col. 4. 2. r Eph. 5. 20. Col. 3. 17. † am danoch. s Eph. 4. 30. 2 Tim. 1. 6. t 1 Cor. 14. 30. 1 Cor. 2. 11, 15. 1 Ioan 4. 1. u Phil. 4. 8. ‡ math ar ddrwg. x Phil. 4. 9. y Pen. 3. 13. z 1 Cor. 1. 9. a 10. 13. 2 Thess. 3. 3. a Rhuf. 16. 16.

b Col. 4. 16. 2 Thess. 3. 14. c Rhuf. 16. 20.

# ¶ Ail Epistol PAUL yr Apostol at y THESSALONIAID.

## PEN. I.

1 *Y mae S. Paul yn mynegi iddynt ddaid yr oedd efe yn ei ddal am eu ffydd, a'u cariad, a'u hammynedd hwynt: 11 a chyd â hynny yn gosod allan o [illegible] ar [illegible] dw [illegible] hwy [illegible]; a'r pennaf o'r rhai hyn a gymmerir oddi wrth gyfiawn farn Duw.*

Bl. yr Argl. 54.
PAUL, a Silfanus, a Thimothëus, at eg-
lwys y Thessaloniaid, a yn Nuw ein
Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.
2 b Gras i chwi, a thangnefedd, oddi

a 1 Thess. 1. 1. b 1 Cor. 1. 3.

wrth Dduw ein Tad ni, a'r Arglwydd Iesu
Grist.
3 [c] Dïolch a ddylem i Dduw yn wastadol
drosoch, frodyr, fel y mae yn addas, oble-
gid bod eich ffydd chwi yn mawr gynnyd-
du, a chariad pob un o honoch oll tu ag
at eich gilydd yn ychwanegu:
4 Hyd onid ydym [d] ni ein hunain yn
† gorfoleddu ynoch chwi yn eglwysi Duw, o
herwydd eich amynedd chwi a'ch ffydd yn
eich holl erlidiau a'r gorthrymderau yr
ydych yn eu goddef:
5 *Yr hyn sydd* [e] argoel goleu o gyfiawn
farn Duw, fel y'ch cyfrifer yn deilwng i
deyrnas Dduw, [f] er mwyn yr hon yr ydych
hefyd yn goddef.
6 Canys cyfiawn *yw* ger bron Duw, dalu
cystudd i'r rhai sy yn eich cystuddio chwi;
7 Ac i chwithau, y rhai a gystuddir, es-
mwythdra gyd â ni, [g] yn ymddangosiad yr
Arglwydd Iesu o'r nef, ‡ gyd â'i angylion
nerthol,
8 § [h] A thân fflamllyd, ‖ gan roddi dïal
i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac [i] nid ydynt
yn ufuddhâu i efengyl ein Harglwydd Iesu
Grist:
9 Y rhai a ddïoddefant yn gospedigaeth,
ddinystr tragywyddol oddi ger bron yr
Arglwydd, ac oddi wrth ogoniant ei gader-
nid ef;
10 Pan ddêl efe i'w ogoneddu yn ei saint,
ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sy'n
credu (o herwydd i'n tystiolaeth ni yn
eich mysg chwi gael ei chredu) yn y dydd
hwnnw.
11 Am ba achos yr ydym hefyd yn gwe-
ddïo yn wastadol drosoch, ar fod i'n Duw
ni eich cyfrif chwi yn deilwng o'r alw-
edigaeth *hon*, a chyflawni holl foddlon-
rwydd † *ei* ddaioni, a gwaith ffydd, yn ner-
thol:
12 Fel y gogonedder enw ein Harglwydd
Iesu Grist ynoch chwi, a chwithau ynddo
yntau, yn ol gras ein Duw ni, a'r Arglwydd
Iesu Grist

PEN. II.

1 *Mae efe yn ewyllysio iddynt barhâu yn ddi-
sigl yn y gwirionedd a dderbyniasant; 3 ac
yn dangos y bydd ymadawiad oddi wrth y
ffydd. 3 ac y datguddir anghrist, cyn dy-
fod dydd yr Arglwydd: 15 ac yno yn ail-
adrodd ei gyngor o'r blaen, ac yn gweddïo
drostynt hwy.*

51. AC yr ydym yn attolwg i chwi, frodyr, er
dyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist, a'n
cyd-gynnulliad ninnau atto ef,
2 [a] Na'ch sigler yn fuan † oddi wrth eich
meddwl, ac na'ch cynhyrfer, na chan yspryd,
na chan air, na chan lythyr, megis oddi wrth-
ym ni, fel pe bai dydd Crist yn gyfagos.
3 Na thwylled neb chwi mewn un modd:
oblegid *ni ddaw y dydd hwnnw* hyd oni ddêl
ymadawiad yn gyntaf, a [b] datguddio dyn
pechod, mab y golledigaeth:
4 Yr hwn sydd yn gwrthwynebu, ac
[c] yn ymddyrchafu ‡ goruwch pob § peth
a elwir yn Dduw, neu a addolir; hyd onid
yw [d] efe, megis Duw, yn eistedd yn nheml
Dduw, ac yn ei ddangos ei hun mai Duw
ydyw.
5 Onid cof gennych chwi, pan oeddwn i
etto gyd â chwi, ddywedyd o honof y pe-
thau hyn i chwi?
6 Ac yr awrhon chwi a wyddoch yr hyn
sydd yn attal, fel y datguddier ef yn ei bryd
ei hun.

[c] 1 Thess. 1. 2, 3. Pen. 2. 13.
[d] 2 Cor. 7. 14. a 9. 2. 1 Thess. 2. 19.
† *ymffrostio.*
[e] Phil. 1. 28.
[f] 1 Thess. 2. 14.
[g] 1 Thess. 4. 16.
‡ *gyd ag angylion ei nerth.*
§ *Mewn tân.*
[h] 2 Petr 3. 7. Judas 14.
‖ *yn cymmeryd dïal ar y sawl.*
[i] Rhuf. 2. 8.
† *i ddaioni.*
[a] Mat. 24. 4. Eph. 5. 6. Ioan 4. 1.
† *o'ch meddwl,* neu, *ym meddwl.*
[b] Ioan 2. 18. Dat. 13. 11. Edrych 1 Mac. 2. 48, 62.
[c] Dan. 11. 36.
‡ *yn erbyn.*
§ *un.*
[d] Edrych Ezec. 28. 2.

7 Canys y mae [e] dirgelwch yr anwiredd
yn gweithio eisoes: yn unig yr hwn sydd yr
awrhon yn attal, *a ettyl* nes ei dynnu ymaith.
8 Ac yna y datguddir yr Anwir *hwnnw*,
yr hwn a ddifetha'r Arglwydd [f] ag yspryd
ei enau, ac a ddilea â disgleirdeb ei ddyfo-
diad:
9 *Sef* yr hwn y mae ei ddyfodiad [g] yn ol
gweithrediad Satan, gyd â phob nerth, ac
[h] arwyddion, a rhyfeddodau gau,
10 A phob dichell anghyfiawnder yn [i] y
rhai colledig; am na dderbyniasant gariad y
gwirionedd, fel y byddent gadwedig.
11 Ac [k] am hynny y denfyn Duw iddynt
hwy ‖ amryfusedd cadarn, [l] fel y credont
gelwydd:
12 Fel y barner yr holl rai nid oeddynt
yn credu i'r gwirionedd, ond yn ymfoddloni
mewn anghyfiawnder.
13 Eithr [m] nyni a ddylem ddïolch yn
wastad i Dduw drosoch chwi, frodyr caredig
gan yr Arglwydd, oblegid i Dduw [n] o'r de-
chreuad eich [o] ethol chwi i iachawdwriaeth,
[p] trwy sancteiddiad yr Yspryd, a ffydd † i'r
gwirionedd:
14 I'r hyn y galwodd efe chwi trwy ein
hefengyl ni, i [q] feddiannu gogoniant ein
Harglwydd Iesu Grist.
15 Am hynny, frodyr, sefwch, a deliwch
[r] y traddodiadau a ddysgasoch, pa un byn-
nag ai trwy ymadrodd, ai trwy ein hepistol ni.
16 A'n Harglwydd Iesu Grist ei hun, a
Duw a'n Tad, yr hwn a'n carodd ni, ac a
roddes *i ni* ddiddanwch tragywyddol, a go-
baith da trwy ras,
17 A ddiddano eich calonnau chwi, ac
a'ch [s] sicrhao ym mhob gair a gweithred
dda.

PEN. III.

1 *Y mae efe yn deisyfu eu gweddïau hwy dros-
to ei hun: 3 yn tystiolaethu pa hyder oedd
gantho arnynt; 5 ac yn gweddïo ar Dduw
drostynt hwy; 6 ac yn rhoddi amryw or-
chymynion; yn enwedig i ochelyd seguryd,
a chymdeithas rhai drwg; 16 ac yn diwed-
du trwy weddïo, a'u hannerch hwy.*

BELLACH, frodyr, [a] gweddïwch drosom 54.
ni, ar fod i air yr Arglwydd redeg, a
chael gogonedd, megis gyd â chwithau;
2 Ac [b] ar ein gwared ni oddi wrth ddyn-
ion † anhywaith a drygionus: canys nid *oes*
ffydd gan bawb.
3 Eithr [c] ffyddlon yw'r Arglwydd, yr hwn
a'ch sicrhâ chwi, ac a'*ch* [d] ceidw rhag drwg.
4 Ac [e] y mae gennym hyder yn yr Ar-
glwydd am danoch, eich bod yn gwneuthur,
ac y gwnewch, y pethau yr ydym yn eu
gorchymyn i chwi.
5 A'r Arglwydd a gyfarwyddo eich ca-
lonnau chwi at gariad Duw, ac i ‡ ymaros
am Grist.
6 Ac yr ydym yn gorchymyn i chwi, fro-
dyr, yn enw ein Harglwydd Iesu Grist,
[f] dynnu o honoch ymaith [g] oddi wrth bob
brawd a'r sydd yn rhodio § [h] yn afreolus, ac
nid yn ol [i] y traddodiad a dderbyniodd efe
gennym ni.
7 Canys chwi a wyddoch eich hunain
[k] pa fodd y dylech ein dilyn ni: oblegid
[l] ni buom ‖ afreolus yn eich plith chwi,
8 Ac ni fwyttasom fara neb yn rhad; ond
[m] trwy weithio mewn llafur a lludded, nos
a dydd, fel na phwysem ar neb o honoch
chwi:

[e] 1 Ioan 4. 3.
[f] Esay 11. 4. Hos. 6. 5. Dat. 2. 16. a 19. 15, 20, 21.
[g] Eph. 2. 2. Dat. 18. 23.
[h] Mat. 24. 24. Dat. 13. 13. Edrych Deut. 13. 1.
[i] 2 Cor. 2. 15. a 4. 3.
[k] Rhuf. 1. 24, &c. Edrych 1 Bren. 20. 22. Ezec. 14. 9.
‖ *nerthol weithrediad cyfeiliorni.*
[l] 1 Tim. 4. 1.
[m] Pen. 1. 3.
[n] Eph. 1. 4.
[o] 1 Thess. 1. 4.
[p] Luc 1. 75. 1 Petr 1. 2.
† *y.*
[q] Ioan 17. 22.
[r] Pen. 3. 6.
[s] 1 Cor. 1. 8. 1 Thess. 3. 13.
[a] Eph. 6. 19. Col. 4. 3.
[b] Rhuf. 15. 13.
† Neu, *allan o'u lle.*
[c] 1 Cor. 1. 9. 1 Thess. 5. 24.
[d] Ioan 17. 15.
[e] 2 Cor. 7. 16.
‡ *amynedd Crist.*
[f] Rhuf. 16. 17. Adn. 14. 2 Ioan 10.
[g] 1 Cor. 5. 11.
§ *allan o drefn.*
[h] 1 Thess. 4. 11. Adn. 11, 12, 14.
[i] Pen. 2. 15.
[k] 1 Cor. 4. 16. a 11. 1.
[l] 1 Thess. 1. 6, 7. [l] 1 Thess. 2. 10. ‖ *allan o drefn.* [m] Act. 18. 3. a 20. 34, 35.

9 [n] Nid o herwydd nad oes gennym aw-
durdod, ond fel y'n rhoddem [o] ein hunain
yn siampl i chwi i'n dilyn.
10 Canys pan oeddym hefyd gyd â chwi,
hyn a orchymynasom i chwi, [p] Os bydd-
ai neb ni fynnai weithio, na chai fwytta
chwaith.
11 Canys yr ydym yn clywed fod rhai
yn rhodio yn eich plith chwi † yn afreo-
lus, heb weithio dim, ond bod yn rhodres-
gar.
12 [q] Ond i'r cyfryw gorchymyn yr ydym,
a'u hannog trwy ein Harglwydd Iesu Grist,
[r] ar *iddynt* weithio trwy lonyddwch, a bwyt-
ta eu bara eu hunain.
13 A chwithau, frodyr, [s] na ‡ ddiffyg-
iwch yn gwneuthur daioni.

[n] 1 Cor. 9. 6. 1 Thess. 2. 6.
[o] Adn. 7.
[p] Gen. 3. 19.
† *allan o drefn.*
[q] 1 Thess. 4. 11.
[r] Eph. 4. 28.
[s] Gal. 6. 9.
‡ *flinwch.*

14 Ond od oes neb heb ufuddhâu i'n gair
§ trwy 'r llythyr *yma*, hyspyswch hwnnw; ac
[t] na fydded i chwi gymdeithas ag ef, megis
y cywilyddio efe.
15 Er hynny na chymmerwch *ef* megis
gelyn, eithr ‖ cynghorwch *ef* fel brawd.
16 Ac [u] Arglwydd y tangnefedd ei hun a
roddo i chwi dangnefedd yn wastadol ym
mhob modd. Yr Arglwydd *a fyddo* gyd â
chwi oll.
17 [x] Yr annerch â'm llaw i Paul fy hun;
yr hyn sydd arwydd ym mhob epistol: fel
hyn yr ydwyf yn ysgrifenu.
18 [y] Gras ein Harglwydd Iesu Grist gyd
â chwi oll. Amen.

¶ Yr ail at y Thessaloniaid, a 'sgrifen-
wyd o Athen.

§ *trwy lythyr, hyspyswch y dyn hwnnw.*
[t] Mat. 18. 17. 1 Cor. 5. 9, 11. Adn. 6.
‖ *rhybuddiwch.*
[u] Rhuf. 15. 33.
[x] 1 Cor. 16. 21. Col. 4. 18.
[y] Rhuf. 16. 24.

# ¶ Epistol cyntaf PAUL yr Apostol at TIMOTHEUS.

## PEN. I.

1 *Y mae Paul yn dwyn ar gof i Timothëus y siars a roddasai efe iddo, wrth fyned i Macedonia. 5 Iawn arfer a diwedd y gyfraith. 11 Ynghylch galw S. Paul i fod yn apostol. 20 Am Hymenëus ac Alexander.*

Bl. yr Argl. 65.

PAUL apostol Iesu Grist, [a] yn ol gor-
chymyn Duw ein Hiachawdwr, a'r Ar-
glwydd Iesu Grist, [b] ein gobaith;
2 At [c] Timothëus, *fy* mab naturiol yn y
ffydd: [d] Gras, trugaredd, *a* thangnefedd
oddi wrth Dduw ein Tad, a Christ Iesu ein
Harglwydd.
3 Megis y deisyfiais arnat aros yn Ephe-
sus, [e] pan aethum i Macedonia, fel y
gellit rybuddio rhai [f] na ddysgont ddim
amgen,
4 Ac na [g] ddaliont ar chwedlau, ac achau
anorphen, y rhai sy'n peri cwestiynau yn
hytrach nag adeiladaeth dduwiol, yr hon
sydd † trwy ffydd; *gwna felly.*
5 Eithr [h] diwedd y gorchymyn yw car-
iad o galon bur, a chydwybod dda, a ffydd
ddiragrith.
6 Oddi wrth yr hyn bethau y gwyrodd
rhai, ac y troisant heibio at [i] ofer-siarad;
7 Gan ewyllysio bod yn athrawon o'r
ddeddf, heb ddeall na pha bethau y maent
yn eu dywedyd, nac am ba bethau y maent
yn taeru.
8 Eithr nyni a wyddom mai [k] da *yw*'r
gyfraith, os arfer dyn hi yn gyfreithlon;
9 [l] Gan wybod hyn, nad i'r cyfiawn y
rhoddwyd y gyfraith, eithr i'r *rhai* digyf-
raith ac anufudd, i'r *rhai* annuwiol a phe-
chaduriaid, i'r *rhai* disanctaidd a halogedig,
i dad-leiddiaid a mam-leiddiaid, i leiddiaid
dynion,
10 I butteinwŷr, i wrryw-gydwŷr, i lad-
ron-dynion, i gelwyddwŷr, i anudonwŷr;
ac os *oes* dim arall yn wrthwyneb i athraw-
iaeth [m] iachus,
11 Yn ol efengyl ‡ gogoniant [n] y bendi-
gedig Dduw, [o] am yr hon yr ymddiriedwyd
i mi.
12 Ac yr ydwyf yn diolch i'r hwn a'm
nerthodd i, *sef* Crist Iesu ein Harglwydd,
[p] am iddo *fy* nghyfrif yn ffyddlon, gan fy
ngosod yn y weinidogaeth;
13 [q] Yr hwn oeddwn o'r blaen yn gabl-
wr, ac yn erlidiwr, ac yn drahaus. Eithr
mi a gefais drugaredd, am [r] i mi yn ddiar-
wybod ei wneuthur § trwy anghrediniaeth:

[a] Act. 9. 15.
[b] Col. 1. 27.
[c] Act. 16. 1. 1 Cor. 4. 17. 1 Thess. 3. 2.
[d] Gal. 1. 3. 2 Tim. 1. 2. 1 Petr 1. 2.
[e] Act. 20. 1, 3. Phil. 2. 24.
[f] Gal. 1. 6, 7. Pen. 6. 3.
[g] Pen. 4. 7. a 6. 4, 20. 2 Tim. 2. 16, 23. Tit. 1. 14. a 3. 9.
† *mewn.*
[h] Rhuf. 13. 8, 10. Gal. 5. 14.
[i] Adn. 1.
[k] Rhuf. 7. 12.
[l] Gal. 3. 19. a 5. 23.
[m] Pen. 6. 3. 2 Tim. 4. 3. 1 Tim. 1. 14. Tit. 1. 9. a 2. 1.
‡ *ogoneddus.*
[n] Pen. 6. 15.
[o] Gal. 2. 7. 1 Thess. 2. 4. Tit. 1. 3.
[p] 1 Cor. 7. 25.
[q] Act. 8. 3. a 9. 1. Phil. 3. 6.
[r] Ioan 9. 39, 41. Act. 3. 17.
§ *mewn.*

14 A gras ein Harglwydd ni a dra-amlha-
odd [s] gyd â ffydd a chariad, yr hwn sydd
yng Nghrist Iesu.
15 Gwir *yw*'r gair, ac yn haeddu pob
‖ derbyniad, [t] ddyfod Crist Iesu i'r byd i
gadw pechaduriaid; o ba rai † pennaf yd-
wyf fi.
16 Eithr o achos hyn y cefais drugaredd,
fel y dangosai Iesu Grist ynof fi ‡ yn gyntaf
bob hir-oddef, er siampl i'r rhai a gredant
rhag llaw ynddo ef i fywyd tragywyddol.
17 Ac [u] i'r Brenhin tragywyddol, anfar-
wol, anweledig, [x] i'r Duw unig ddoeth, [y] *y
byddo* anrhydedd a gogoniant yn oes oes-
oedd. Amen.
18 Y gorchymyn hwn yr ydwyf yn ei
roddi i ti, *fy* mab Timothëus, [z] yn ol y
prophwydoliaethau a gerddasant o'r blaen
am danat, ar [a] filwrio o honot ynddynt filwri-
aeth dda,
19 [b] Gan fod gennyt ffydd, a chydwy-
bod dda; yr hon a wrthododd rhai, ac a
wnaethant long-ddrylliad am y ffydd:
20 O ba rai y mae [c] Hymenëus ac [d] Alex-
ander; y rhai [e] a roddais i Satan, fel y dys-
gent na chablent.

[s] 2 Tim. 1. 13.
‖ *croesaw.*
[t] Mat. 9. 13. Marc 2. 17. Luc 5. 32. a 19. 10. 1 Ioan 3. 5.
† *blaenaf.*
‡ *Neu, y blaenaf.*
[u] Psal. 10. 16. a 145. 13. Pen. 6. 15, 16.
[x] Rhuf. 16. 27.
[y] 1 Chron. 29. 11.
[z] Eccl. 46. 1. Pen. 4. 14.
[a] Pen. 6. 12. 2 Tim. 4. 7.
[b] Pen. 3. 9.
[c] 2 Tim. 2. 17.
[d] 2 Tim. 4. 14.
[e] 1 Cor. 5. 5.

## PEN. II.

1 *Bod yn iawn gweddïo a diolch dros bob dyn. 9 Pa fodd y dylai gwragedd ymdrwsio; 12 nad ydys yn caniattâu iddynt na dysgu, na bod yn ben: 15 y byddant hwy gadwedig, er bod ynddynt arwydd o ddigofaint Duw, wrth ddwyn plant i'r byd, os hwy a arhosant yn y ffydd.*

† CYNGHORI yr ydwyf am hynny, ym
mlaen pob peth, fod ymbiliau, gwe-
ddïau, deisyfiadau, *a* thalu diolch, dros bob
dyn;
2 [a] Dros frenhinoedd, a phawb sy mewn
‡ goruchafiaeth; fel y gallom ni fyw yn
llonydd ac yn heddychol mewn pob duw-
ioldeb ac onestrwydd.
3 Canys hyn *sydd* dda a chymmeradwy
ger bron Duw ein ceidwad;
4 [b] Yr hwn sydd yn ewyllysio bod pob
dyn yn gadwedig, a'u dyfod i wybodaeth y
gwirionedd.
5 Canys [c] un Duw *sydd*, ac [d] un cyfryng-
wr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn
Crist Iesu;
6 [e] Yr hwn a'i rhoddes ei hunan yn
bridwerth dros bawb, § [f] i'w dystiolaethu
[g] yn yr amseroedd priod.

† *Attolwg.*
[a] Jer. 29. 7.
‡ *Neu, awdurdod.*
[b] 2 Pet. 3. 9.
[c] Ioan 17. 3. Rhuf. 3. 29. a 10. 12.
[d] Heb. 9. 15.
[e] Mat. 20. 28.
§ *yn dystiolaeth.*
[f] 1 Cor. 1. 6. 2 Thess. 1. 10.
[g] Eph. 1. 9. a 3. 5.

7 [h] I'r hyn y'm gosodwyd i yn bregethwr
ac yn apostol ([i] y gwir yr *wyf* yn ei ddywe-
dyd yng Nghrist, nid wyf yn dywedyd cel-
wydd) [k] yn athraw y Cenhedloedd mewn
ffydd a gwirionedd.
8 Am hynny yr wyf yn ewyllysio i'r
gwŷr weddïo [l] ym mhob man, [m] gan ddyr-
chafu dwylaw sanctaidd, heb na digter † na
dadl.
9 Yr un modd hefyd, bod [n] i'r gwragedd
eu trefnu eu hunain mewn dillad gweddus,
gyd â gwylder a sobrwydd; nid â gwallt
plethedig, neu aur, neu emmau, neu ddillad
gwerthfawr,
10 Ond (yr hyn sydd yn gweddu i wragedd
a fo yn proffesu duwioldeb) â gweithred-
oedd da.
11 Dysged gwraig mewn disdawrwydd
gyd â phob gostyngeiddrwydd.
12 Ond [o] nid wyf yn cenhadu i wraig
athrawiaethu, [p] nac ymawdurdodi ar y gwr,
eithr bod mewn disdawrwydd.
13 Canys [q] Adda a luniwyd yn gyntaf,
yna Efa.
14 Ac nid [r] Adda a dwyllwyd; eithr
y wraig, wedi ei thwylio, oedd yn y cam-
wedd.
15 Etto cadwedig fydd ‡ wrth ddwyn
plant, os arhosant hwy mewn ffydd, a
chariad, a sancteiddrwydd, ynghŷd â sobr-
wydd.

h 2 Tim. 1. 11. — i Rhuf. 1. 9. — k Rhuf. 11. 13. a 15. 16. Gal. 1. 6. — l Mal. 1. 11. Ioan 4. 21. — m Esay 1. 15. — † *nac ammeu.* — n 1 Petr 3. 3. — o 1 Cor. 14. 34. — p Eph. 5. 24. — q Gen. 1. 27. a 2. 18. 1 Cor. 11. 8, 9. — r Gen. 3. 6. 2 Cor. 11. 3. — ‡ *yn planta.*

## PEN. III.

*2 Cynheddfau esgobion, a diaconiaid, a'u gwragedd; 14 a phaham y mae'r apostol yn ysgrifennu'r pethau hyn at Timotheüs. 15 Ynghylch yr eglwys, a'r gwirionedd a ddysgir ynddi.*

65. GWIR *yw*'r gair, Od yw neb yn chwen-
nych swydd [a] esgob, gwaith da y mae
yn ei chwennych.
2 Rhaid gan hynny i [b] esgob fod yn
ddïargyoedd, yn wr un wraig, yn wyliad-
wrus, yn sobr, yn † weddaidd, yn lletteugar,
[c] yn athrawaidd;
3 Nid yn ‡ win-gar, nid yn darawŷdd,
[d] nid yn budr-elwa; eithr yn dirion, [e] yn
anymladdgar, yn ddïarian-gar;
4 Yn llywodraethu ei dŷ ei hun yn dda,
yn dal ei blant mewn ufudd-dod, ynghŷd
â phob onestrwydd;
5 (Oblegid oni fedr un lywodraethu ei
dŷ ei hun, pa fodd y cymmer efe ofal dros
eglwys Dduw?)
6 Nid yn newŷddian *yn y ffydd*, rhag iddo
ymchwyddo, a syrthio i ddamnedigaeth
diafol.
7 Ac y mae yn rhaid iddo ef hefyd gael
tystiolaeth dda [f] gan y rhai oddi allan;
rhag iddo syrthio i waradwydd, ac i fagl
diafol.
8 *Rhaid* i'r [g] dïaconiaid yr un ffunud *fod*
yn onest; nid yn ddau-eiriog, nid yn ymrôi
i win lawer, nid yn budr-elwa;
9 [h] Yn dala dirgelwch y ffydd mewn cyd-
wybod bur.
10 A phrofer y rhai hynny hefyd yn
gyntaf; yna gwasanaethant swydd dïacon-
iaid, os byddant ddïargyoedd.
11 *Y mae yn rhaid i'w* gwragedd yr un
modd *fod* yn onest, nid yn enllibaidd, yn
sobr, yn ffyddlon ym mhob peth.
12 Bydded y dïaconiaid yn wŷr un wraig,
yn llywodraethu eu plant a'u tai eu hunain
yn dda.
13 Canys [i] y rhai a wasanaethant swydd
dïaconiaid yn dda, ydynt yn ynnill iddynt

a Act. 20. 28. — b Tit. 1. 6, &c. — † *fodd*us. — c 2 Tim. 2. 24. — ‡ *barod i ymladd a chynnyg cam, fel un mewn gwin.* — d 1 Petr 5. 2. — e 2 Tim. 2. 24. — f Act. 22. 12. 1 Cor. 5. 12. — g Act 6. 3. — h Pen. 1. 19. — i Edrych Mat. 25. 21.

eu hunain radd dda, a hyfder mawr yn y
ffydd *sydd* yng Nghrist Iesu.
14 Y pethau hyn yr ydwyf yn eu hys-
grifenu attat, gan obeithio dyfod attat ar
fyrder.
15 Ond os tariaf yn hir, fel y gwypech pa
fodd y mae yn rhaid *i ti* ymddŵyn yn nhŷ
Dduw, yr hwn yw eglwys y Duw byw, co-
lofn a § sylfaen y gwirionedd.
16 Ac yn ddi-ddadl, mawr yw dirgel-
wch duwioldeb; [k] Duw a ‖ ymddangosodd
yn y cnawd, [l] a gyfiawnhawyd yn yr Ys-
pryd, [m] a welwyd gan angylion, [n] a bre-
gethwyd i'r Cenhedloedd, a gredwyd iddo
yn y byd, [o] a gymmerwyd i fynu mewn
gogoniant.

§ Neu, *chynhaliad.* — k Ioan 1. 14. 1 Ioan 1. 2. — ‖ Gr. *amlygwyd.* — l Rhuf. 1. 4. 1 Petr 3. 18. — m Mat. 28. 2. Marc 16. 5. Luc 24. 4. Ioan 20. 12. Eph. 3. 10. 1 Petr 1. 12. — n Eph. 3. 5, 6. — o Luc 24. 51. Act. 1. 9.

## PEN. IV.

*1 Y mae efe yn prophwydo ymadawiad oddi wrth y ffydd, yn yr amseroedd diweddaf: 6 ac er mwyn na byddai i Timotheüs ballu yn ei swydd, y mae efe yn rhoi iddo amryw gynghorion ynghylch hynny.*

AC y mae'r Yspryd yn eglur [a] yn dywe- 65.
dyd yr ymedy rhai [b] yn yr amseroedd
diweddaf oddi wrth y ffydd, gan roddi coel
i ysprydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau
cythreuliaid;
2 Yn dywedyd celwydd mewn rhagrith,
a'u cydwybod eu hunain wedi ei † serio â
haiarn poeth;
3 Yn gwahardd prïodi, *ac yn erchi* ym-
attal oddi wrth fwydydd, y rhai a greodd
Duw [c] i'w derbyn, [d] trwy roddi dïolch, gan
y ffyddloniaid, a'r rhai a adwaenant y gwir-
ionedd.
4 Oblegid *y mae* [e] pob peth a greodd Duw
yn dda, ac nid *oes* dim i'w wrthod, os cym-
merir trwy dalu dïolch:
5 Canys y mae wedi ei sancteiddio gan
air Duw a gweddi.
6 ‡ Os gosodi y pethau hyn o flaen y
brodyr, ti a fyddi weinidog da i Iesu Grist,
[f] wedi dy fagu yngeiriau'r ffydd, ac athraw-
iaeth dda, yr hon a ddilynaist.
7 Eithr [g] gâd heibio halogedig a gwrach-
ïaidd chwedlau, ac ymarfer dy hun i dduw-
ioldeb.
8 Canys § i ychydig y mae [h] ymarfer
corphorol yn fuddiol: eithr duwioldeb sydd
fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r
bywyd *y sydd* yr awrhon, ac o'r hwn a
fydd.
9 [i] Gwir *yw*'r gair, ac yn haeddu pob
‖ derbyniad.
10 Canys er mwyn hyn yr ydym yn poeni,
ac yn cael ein gwaradwyddo; o herwydd i
ni obeithio yn y Duw byw, [k] yr hwn yw
Achubydd pob † dyn, yn enwedig y ffydd-
loniaid.
11 Y pethau hyn gorchymyn a dysg.
12 [l] Na ddïystyred neb dy ieuengctid di;
eithr [m] bydd yn ensampl i'r ffyddloniaid,
mewn gair, mewn ymarweddiad, mewn
cariad, mewn yspryd, mewn ffydd, mewn
purdeb.
13 Hyd oni ddelwyf, glŷn wrth ddarllain,
wrth gynghori, wrth athrawiaethu.
14 [n] Nac esgeulusa y dawn sydd ynot,
yr hwn a roddwyd i ti [o] trwy brophwydol-
iaeth, [p] gyd ag arddodiad dwylaw yr hen-
uriaeth.
15 Myfyria ar y pethau hyn, *ac* yn y
pethau hyn aros; fel y byddo dy gynnydd
yn eglur ‡ i bawb.

a 2 Thess. 2. 3. 2 Tim. 3. 1. 2 Petr 3. 3. 1 Ioan 2. 18. Judas 18. — b 1 Petr 1. 20. — † *llosgi.* — c Gen. 1. 30. a 9. 3. — d Rhuf. 14. 6. 1 Cor. 10. 30. — e Rhuf. 14. 14, 20. 1 Cor. 10. 25. Tit. 1. 15. — ‡ *Os dygi y pethau hyn ar gof i'r brodyr.* — f 2 Tim. 3. 14, 15. — g Pen. 1. 4. a 6. 20. Tit. 1. 14. — § Neu, *tros ychydig.* — h Col. 2. 23. — i Pen. 1. 15. — ‖ *croesaw.* — k Psal. 36. 6. a 107. 10, &c. — † *dynion.* — l 1 Cor. 16. 11. Tit. 2. 15. — m Tit. 2. 7. 1 Petr 5. 3. — n 2 Tim. 1. 6. — o Pen. 1. 18. — p Act. 6. 6. — ‡ *ym mhob peth.*

16 Gwylia arnat dy hun, ac ar yr athraw-
iaeth; aros ynddynt: canys os gwnai hyn,
ti [q] a'th gedwi dy hun [r] a'r rhai a wran-
dawant arnat.

## PEN. V.

1 *Rheolau i'w dilyn wrth geryddu. 3 Ynghylch gwragedd gweddwon, 17 a henuriaid. 23 Cyngor ynghylch iechyd Timotheus. 24 Bod pechodau rhai yn myned o'r blaen i farn, a'r eiddo eraill yn canlyn.*

65. [a] NA cherydda hynafgwr, eithr cynghora
*ef* megis tad; *a'r* rhai ieuaingc, megis
brodyr;
2 Yr hen wragedd, megis mammau; y
rhai ieuaingc, megis chwïorydd, † gyd â
phob purdeb.
3 Anrhydedda'r gwragedd gweddwon [b] y
rhai sy wir-weddwon.
4 Eithr o bydd un weddw ag iddi blant
neu ŵyrion, dysgant yn gyntaf arfer ‡ duw-
ioldeb gartref, a [c] thalu'r pwyth i'w rhïeni:
canys hynny sydd dda a chymmeradwy ger
bron Duw.
5 [d] Eithr yr hon sydd wir-weddw ac unig,
sydd yn gobeithio yn Nuw, ac [e] yn parhâu
mewn ymbiliau, a gweddïau, nos a dydd.
6 Ond yr hon sydd § drythyll, a fu farw,
er ei bod yn fyw.
7 A gorchymyn y pethau hyn, fel y byd-
dont ddïargyoedd.
8 Ac od oes neb heb ddarbod dros yr
eiddo, ac yn enwedig ei ‖ deulu, [f] efe a
wadodd y ffydd, a gwaeth yw nâ'r di-
ffydd.
9 † Na ddewiser yn weddw *un* a fo dan
driugein-mlwydd oed, yr hon fu wraig i un
gwr;
10 Yn dda ei gair am weithredoedd da:
os dygodd hi blant i fynu, os [g] bu letteugar,
o [h] golchodd hi draed y saint, o chynnorth-
wyodd hi y rhai cystuddiol, o dilynodd hi
bob gorchwyl da.
11 Eithr gwrthod y gweddwon ieuaingc:
canys pan ddechreuont ymdrythyllu yn er-
byn Crist, prïodi a fynnant;
12 Gan gael barnedigaeth, am iddynt
ddirmygu y ffydd gyntaf.
13 A hefyd y maent yn dysgu *bod* yn se-
gur, gan rodio o amgylch o dŷ i dŷ; ac nid
yn segur yn unig, ond hefyd yn wag-siara-
dus, ac yn rhodresgar, gan adrodd pethau
nid ynt gymmwys.
14 [i] Yr wyf yn ewyllysio gan hynny i'r
rhai ieuaingc brïodi, planta, gwarchod y
tŷ, [k] heb roi dim achlysur i'r gwrthwy-
nebwr i ‡ ddifenwi.
15 Canys y mae rhai eisoes wedi gwyro ar
ol Satan.
16 Od oes gan wr neu wraig ffyddlon,
*wragedd* gweddwon, cynnorthwyant hwynt,
ac na phwyser ar yr eglwys; fel y gallo hi
ddiwallu [l] y gwir-weddwon.
17 [m] Cyfrifer yr henuriaid sy'n llywod-
raethu yn dda, yn deilwng o barch dau-ddy-
blyg; yn enwedig y rhai sy yn poeni yn y
gair a'r athrawiaeth.
18 Canys y mae'r ysgrythyr yn dywedyd,
[n] Na chau safn yr ŷch sydd yn dyrnu'r
ŷd: ac, [o] *Y mae*'r gweithiwr yn haeddu ei
gyflog.
19 Yn erbyn henuriad na dderbyn
achwyn, oddïeithr [p] § dan ddau neu dri o
dystion.
20 [q] Y rhai sy'n pechu, ‖ cerydda yng-
ŵydd pawb, fel y byddo ofn ar y lleill.
21 † [r] Gorchymyn yr ydwyf ger bron
Duw, a'r Arglwydd Iesu Grist, a'r etholedig
angylion, gadw o honot y pethau hyn heb
ragfarn, heb wneuthur dim o ‡ gyd-barti-
aeth.
22 [s] Na ddod ddwylaw yn ebrwydd ar
neb, ac na fydd gyfrannog o bechodau rhai
eraill: cadw dy hun yn bur.
23 Nac yf ddwfr yn hwy; eithr arfer
ychydig win, [t] er mwyn dy gylla, a'th fy-
nych wendid.
24 Pechodau rhyw ddynion sydd amlwg
o'r blaen, yn rhag-flaenu i farn; eithr rhai
sydd yn eu canlyn hefyd.
25 Yr un ffunud hefyd y mae gweithred-
oedd da yn amlwg o'r blaen; a'r rhai sydd
amgenach, ni's gellir eu cuddio.

## PEN. VI.

1 *Dyled gweision i'w meistraid. 3 Am ochelyd athrawon newydd. 6 Duwioldeb sydd elw mawr: 10 a chwant arian ydyw gwreiddyn pob drwg. 11 Beth a ddylai Timotheus ei ochelyd, a'i ddilyn: 17 am ba beth yr oedd iddo rybuddio y cyfoethogion. 20 Am gadw yr athrawiaeth iawn, a gochelyd siaradach ofer.*

CYNNIFER ag sy [a] wasanaethwŷr dan 65.
yr iau, tybiant eu meistraid eu hun yn
deilwng o bob anrhydedd; [b] fel na chabler
enw Duw, a'i athrawiaeth *ef*.
2 A'r rhai sy â meistraid ganddynt yn
credu, na ddïystyrant *hwynt*, o herwydd eu
bod yn frodyr; eithr yn hytrach gwasanae-
thant *hwynt*, am eu bod yn † credu, ac yn
anwyl, yn gyfrannogion o'r llesâd. Y pe-
thau hyn dysg, a chynghora.
3 Od oes neb [c] yn dysgu yn amgenach,
ac heb gyttuno ag [d] iachus eiriau ein Har-
glwydd Iesu Grist, ac â'r athrawiaeth [e] sydd
yn ol duwioldeb;
4 ‡ Chwyddo y mae, [f] heb wybod dim,
eithr § ammhwyllo ynghylch cwestiynau,
ac ymryson ynghylch geiriau; [g] o'r rhai y
mae cynfigen, ymryson, cableddau, drwg-
dybiau, yn dyfod.
5 [h] ‖ Cyndyn ddadleu [i] dynion llygredig
eu meddwl, heb fod y gwirionedd ganddynt;
[k] yn tybied mai elw yw duwioldeb: [l] cilia
oddi wrth y cyfryw.
6 Ond elw mawr yw [m] duwioldeb gyd â
boddlonrwydd.
7 Canys [n] ni ddygasom ni ddim i'r byd,
*ac* eglur *yw* na allwn ddwyn dim allan
chwaith.
8 Ac [o] o bydd gennym ymborth a dillad,
ymfoddlonwn ar hynny.
9 Ond [p] y rhai *sydd* yn ewyllysio ymgy-
foethogi, sydd yn syrthio i brofedigaeth a
magl, a llawer o chwantau ynfyd a niwei-
diol, y rhai sy yn boddi dynion i ddinystr a
cholledigaeth.
10 Canys gwreiddyn pob drwg yw arian-
garwch: yr hon, a rhai yn chwannog iddi,
hwy a † gyfeiliornasant oddi wrth y ffydd,
ac a'u gwanasant eu hunain â llawer o ofidiau.
11 [q] Eithr tydi, gwr Duw, gochel y peth-
au hyn; a dilyn gyfiawnder, duwioldeb,
ffydd, cariad, amynedd, addfwyndra.
12 [r] Ymdrecha hardd-deg ymdrech y ffydd;
[s] cymmer afael ar y bywyd tragywyddol;
i'r hwn hefyd y'th alwyd, ac y proffesaist
broffes dda ger bron llawer o dystion.
13 [t] Yr ydwyf yn gorchymyn i ti ger bron
Duw, [u] yr hwn sydd yn bywhâu pob peth,
a *cher bron* Crist Iesu, [x] yr hwn dan Pontius
Pilat a dystiodd ‡ broffes dda;

[q] Ezec. 33. 9. [r] Rhuf. 11. 14. 1 Cor. 9. 22. Iago 5. 20. [a] Lef. 19. 32. † *mewn pob diweirdeb.* [b] Adn. 5, 16. ‡ *caredigrwydd.* [c] Edrych Gen. 45. 10, 11. Mat. 15. 4. Eph. 6. 1, 2. [d] 1 Cor. 7. 32. [e] Luc 2. 37. a 18. 1. § *yn byw yn foethus.* ‖ *geraint.* [f] 2 Tim. 3. 5. Tit. 1. 16. † *Na chyfrifer yn nifer y rhai gweddwon.* [g] 1 Petr 4. 9. [h] Gen. 18. 4. a 19. 2. Luc 7. 38, 44. [i] 1 Cor. 7. 9. [k] Tit. 2. 8. ‡ *Gr. ymserthu.* [l] Adn. 3, 5. [m] Rhuf. 12. 8. 1 Cor. 9. 10, 14. Gal. 6. 6. Phil. 2. 29. 1 Thes. 5. 12, 13. [n] Deut. 25. 4. 1 Cor. 9. 9. [o] Lef. 19. 13. Mat. 10. 10. Luc 10. 7. [p] Deut. 19. 15. § *Neu, ger bron dau.* [q] Gal. 2. 14. ‖ *argyoeddu.* † *Dwr dystiolaethu.* [r] Pen. 6. 13. 2 Tim. 2. 14. a 4. 1. ‡ *duedd.* [s] Act. 6. 6. a 13. 3. Pen. 4. 14. 2 Tim. 1. 6. [t] Psal. 104. 15.

[a] Eph. 6. 5. Col. 3. 22. 1 Petr 2. 18. [b] Tit. 2. 5, 8. † *ffyddlon.* [c] Pen. 1. 3. [d] Pen. 1. 10. 2 Tim. 1. 13. Tit. 1. 9. [e] Tit. 1. 1. ‡ *Ynfyd yw.* [f] 1 Cor. 8. 2. § *Gr. yn glaf.* [g] Pen. 1. 4. [h] 1 Cor. 11. 16. ‖ *Ofer.* [i] 2 Tim. 3. 8. [k] Tit. 1. 11. 2 Petr 2. 3. [l] 2 Tim. 3. 5. [m] Diar. 15. 16. [n] Job 1. 21. Psal. 49. 17. Preg. 5. 15. [o] Heb. 13. 5. [p] Diar. 15. 27. a 20. 21. a 28. 20. Mat. 13. 22. Iago 5. 1. † *hudwyd.* [q] 2 Tim. 2. 22. [r] 1 Cor. 9. 25, 26. Pen. 1. 18. 2 Tim. 4. 7. [s] Phil. 3. 12, 14. Adn. 19. [t] Pen. 5. 21. [u] Deut. 32. 39. [x] Mat. 27. 11. ‡ *cyffes.*

14 Gadw o honot y gorchymyn *hwn* yn
ddifeius, yn ddiargyoedd, [y] hyd ymddang-
osiad ein Harglwydd Iesu Grist:
15 Yr hwn yn ei amserau prïod a ddeng-
ys [z] y bendigedig a'r unig Bennaeth, [a] Bre-
nhin y brenhinoedd, ac Arglwydd yr ar-
glwyddi;
16 Yr hwn yn unig sydd ganddo anfarw-
oldeb, *sydd* yn trigo yn y goleuni ni ellir
dyfod atto, [b] yr hwn ni's gwelodd un dyn,
ac ni's dichon ei weled: i'r hwn *y byddo* an-
rhydedd a gallu tragywyddol. Amen.
17 Gorchymyn i'r rhai sydd oludog yn
y byd yma, na byddont uchel feddwl, ac [c] na
obeithiont mewn † golud anwadal, ond yn
y Duw byw, yr hwn sydd yn helaeth yn
rhoddi i ni bob peth i'w mwynhâu:

[y] Phil. 1. 5, 10. 1 Thess. 3. 13. a 5. 23.
[z] Pen. 1. 11, 17.
[a] Dat. 17. 14. a 19. 16.
[b] Exod. 33. 20. Ioan 1. 18. 1 Ioan 4. 12, 20. Dat. 1. 6.
[c] Job 31. 24. Psal. 62. 10. Marc 10. 24.
† Gr. *anwadalwch golud*

18 Ar iddynt wneuthur daioni, [d] ymgy-
foethogi mewn gweithredoedd da, fod yn
hawdd ganddynt roddi *a* chyfrannu;
19 [e] Yn trysori iddynt eu hunain sail dda
erbyn *yr amser* sydd ar ddyfod, fel y caffont
[f] afael ar y bywyd tragywyddol.
20 O Timothëus, [g] cadw yr hyn a rodd-
wyd i'w gadw attat, [h] gan droi oddi wrth ha-
logedig ofer-sain, a gwrthwyneb gwybod-
aeth, a gam-enwir *felly*:
21 Yr hon tra yw rhai yn ei ‡ phroffesu,
hwy [i] a gyfeiliornasant o ran y ffydd. Gras
*fyddo* gyd â thi. Amen.

¶ Y cyntaf at Timothëus a 'sgrifenwyd
o Laodicea, yr hon yw prif-ddinas
Phrygia Pacatiana.

[d] Luc 12. 21. Pen. 5. 10. Iago 2. 5.
[e] Mat. 6. 20. Luc 12. 33. a 16. 9.
[f] Adn. 12.
[g] 2 Tim. 1. 14. Dat. 3. 3.
[h] Pen. 1. 4, 6. a 4. 7. 2 Tim. 2. 16, 23.
‡ *haddo.*
[i] 2 Tim. 2. 18.

# ¶ Ail Epistol PAUL yr Apostol at TIMOTHEUS.

## PEN. I.

*1 Serch Paul tu ag at Timothëus; 5 a'r ffydd ddiffuant oedd yn Timothëus, ac yn ei fam, a'i nain: 6 ei annog ef i gyffrôi rhoddiad Duw oedd ynddo ef; 8 i fod yn ddianwadal, ac yn ddioddefgar mewn erlid: 13 ac i barhâu yn y wir athrawiaeth a ddysgasai ganddo ef. 15 Ynghylch Phygëlus a Hermogenes, a chlod Onesiphorus.*

Bl. yr Argl. 64.

PAUL, apostol Iesu Grist trwy ewyllys
Duw, yn ol addewid y bywyd, yr hwn
sydd yng Nghrist Iesu,
2 At Timothëus, *fy* mab anwyl: [a] Gras,
trugaredd, *a* thangnefedd, oddi wrth Dduw
Dad, a Christ Iesu ein Harglwydd.
3 [b] Y mae gennyf ddïolch i Dduw, [c] yr
hwn yr ydwyf yn ei wasanaethu o'*m* rhïeni
â chydwybod bur, mor [d] ddibaid y mae
gennyf goffa am danat ti yn fy ngweddïau
nos a dydd:
4 Gan fawr-ewyllysio dy weled, gan gofio
dy ddagrau, fel y'm llanwer o lawen-
ydd:
5 Gan alw i'm cof y ffydd ddiffuant sydd
ynot ti, yr hon a drigodd yn gyntaf yn dy
nain Loïs, ac yn [e] dy fam Eunice; a diam-
meu gennyf *ei bod* ynot tithau hefyd.
6 O herwydd pa achos yr ydwyf yn dy
goffâu, [f] i ail-ennyn dawn Duw, yr hwn
sydd ynot trwy arddodiad fy nwylaw i.
7 Canys [g] ni roddes Duw i ni yspryd ofn;
ond *yspryd* nerth, a chariad, a phwyll.
8 Am hynny [h] na fydded arnat gywilydd
o [i] dystiolaeth ein Harglwydd, nac o honof
finnau [k] ei garcharor ef: eithr cyd-oddef di
gystudd â'r efengyl, yn ol nerth Duw:
9 Yr hwn a'n hachubodd ni, ac a'n galw-
odd â galwedigaeth sanctaidd, [l] nid yn ol
ein gweithredoedd ni, ond [m] yn ol ei arfa-
eth ei hun a'i ras, yr hwn a roddwyd i ni
yng Nghrist Iesu, [n] cyn dechreu'r byd,
10 Eithr [o] a eglurwyd yr awrhon trwy
ymddangosiad ein Hiachawdwr Iesu Grist,
[p] yr hwn a ddiddymmodd angau, ac a ddug
fywyd ac anllygredigaeth i oleuni trwy'r
efengyl:
11 [q] I'r hon y'm gosodwyd i yn bregeth-
wr, ac yn apostol, ac yn athraw y Cenhedl-
oedd.
12 [r] Am ba achos yr ydwyf hefyd yn
dïoddef y pethau hyn: ond nid oes arnaf
gywilydd: canys mi a wn i bwy † y cred-
ais; ac [s] y mae yn ddiammeu gennyf ei

[a] 1 Tim. 1. 2.
[b] Rhuf. 1. 8. Eph. 1. 16.
[c] Act. 22. 3. a 23. 1. a 24. 14. Rhuf. 1. 9.
[d] 1 Thess. 1. 2. a 3. 10.
[e] Act. 16. 1.
[f] 1 Thess. 5. 19. 1 Tim. 4. 14.
[g] Rhuf. 8. 15.
[h] Rhuf. 1. 16.
[i] 1 Tim. 2. 6.
[k] Phil. 1. 7.
[l] Rhuf. 3. 20. a 9. 12. Tit. 3. 5.
[m] Rhuf. 8. 28.
[n] Rhuf. 16. 25. Eph. 1. 4. a 3. 11. Tit. 1. 2. 1 Petr 1. 20.
[o] Rhuf. 16. 25, 26. Col. 1. 20.
[p] 1 Cor. 15. 54, 55. Heb. 2. 14.
[q] Act 9. 15. 1 Tim. 2. 7.
[r] Eph. 3. 1.
† *yr ymddiriedais.*
[s] Pen. 4. 8.

fod ef yn abl i gadw yr hyn a roddais atto
erbyn y dydd hwnnw.
13 [t] Bydded gennyt [u] ffurf [x] yr ymadrodd-
ion iachus, y rhai a glywaist gennyf fi, [y] yn
y ffydd a'r cariad *sydd* yng Nghrist Iesu.
14 [z] Y peth da a rodded i'w gadw attat,
cadw trwy'r Yspryd Glân, yr hwn sydd yn
preswylio ynom.
15 Ti a wyddost hyn, ddarfod [a] i'r rhai
oll sydd yn Asia droi oddi wrthyf fi; o'r
sawl y mae Phygëlus a Hermogenes.
16 Rhodded yr Arglwydd drugaredd i
[b] dŷ Onesiphorus; canys efe a'm llonnodd
i yn fynych, ac nid oedd gywilydd ganddo
[c] fy nghadwyn i.
17 Eithr pan oedd yn Rhufain, *efe* a'm
ceisiodd yn ddiwyd iawn, ac a'*m* cafodd.
18 Rhodded yr Arglwydd iddo gael tru-
garedd gan yr Arglwydd yn y dydd hwn-
nw: a maint a wnaeth efe o wasanaeth yn
Ephesus, ‡ goreu y gwyddost ti.

[t] Pen. 3. 14.
[u] Rhuf. 2. 20. a 6. 17.
[x] Tit. 1. 9.
[y] 1 Tim. 1. 14.
[z] 1 Tim. 6. 20.
[a] Pen. 4. 10, 16.
[b] Pen. 4. 19.
[c] Act. 28. 20. Eph. 6. 20.
‡ *gwell.*

## PEN. II.

*1 Ei annog ef i ddianwadalwch, ac i barhâu; ac i wneuthur rhan gweinidog ffyddlon yr Arglwydd, gan gyfrannu gair Duw yn iawn, a gochelyd siaradach ofer. 17 Am Hymenëus a Philetus. 19 Bod sylfaen yr Arglwydd yn sicr. 22 Y mae yn dysgu iddo beth sydd i'w ochelyd, ac i'w ddilyn; a pha fodd y gweddai i weinidog yr Arglwydd ymddwyn.*

66.

TYDI gan hynny, fy mab, ymnertha yn
y gras sydd yng Nghrist Iesu.
2 A'r pethau a glywaist gennyf trwy lawer
o dystion, traddoda y rhai hynny i ddynion
ffyddlon, y rhai a fyddant [a] gymmwys i
ddysgu eraill hefyd.
3 [b] Tydi gan hynny goddef gystudd, me-
gis milwr da i Iesu Grist.
4 Nid yw neb a'r sydd yn milwrio, yn ym-
rwystro â negeseuau y bywyd *hwn*; fel y
rhyngo fodd i'r hwn a'i dewisodd yn filwr.
5 Ac [c] od ymdrech neb hefyd, ni choronir
ef onid ymdrech yn gyfreithlon.
6 [d] Y llafurwr † sydd yn llafurio, sydd raid
iddo yn gyntaf ‡ dderbyn y ffrwythau.
7 Ystyria yr hyn yr ydwyf yn ei ddywed-
yd; a'r Arglwydd a roddo i ti ddeall ym
mhob peth.
8 Cofia gyfodi Iesu Grist [e] o had Dafydd,
o feirw, yn ol fy efengyl i:
9 Yn yr hon yr ydwyf yn goddef cystudd
[f] hyd rwymau, fel drwg-weithredwr; eithr
gair Duw ni's rhwymir.

[a] 1 Tim. 3. 2. Tit. 1. 9.
[b] Pen. 1. 8. a 4. 5.
[c] 1 Cor. 9. 25.
[d] 1 Cor. 9. 10.
† *gan lafurio.*
‡ *fod yn gyfrannog o'r ffrwythau.*
[e] Rhuf. 1. 3, 4.
[f] Eph. 3. 1.

10 Am hynny [g] yr ydwyf yn goddef pob peth er mwyn yr etholedigion, fel y gallent hwythau gael yr iachawdwriaeth sydd yng Nghrist Iesu, gyd â gogoniant tragywyddol.

11 Gwir *yw'r* gair: Canys [h] os buom feirw gyd ag ef, byw fyddwn hefyd gyd ag *ef:*

12 [i] Os dïoddefwn, ni a deyrnaswn gyd ag *ef:* [k] os gwadwn *ef,* yntau hefyd a'n gwad ninnau:

13 [l] Os ŷm ni heb gredu, *etto* y mae efe yn aros yn ffyddlon: ni's gall efe ei wadu ei hun:

14 Dwg y pethau hyn ar gof, [m] gan † orchymyn ger bron yr Arglwydd, [n] na byddo iddynt ymryson ynghylch geiriau, *yr hyn* nid yw fuddiol i ddim, *ond* i ddadymchwelyd y gwrandawŷr.

15 Bydd ddyfal i'th osod dy hun yn brofedig gan Dduw, yn weithiwr ‡ difefl, yn iawn-gyfrannu gair y gwirionedd.

16 Ond [o] halogedig ofer-sain, gochel: canys cynnyddu a wnant i fwy o annuwioldeb.

17 A'u hymadrodd hwy a ysa fel cancr: ac o'r cyfryw rai y mae [p] Hymenëus a Philetus;

18 Y rhai [q] o ran y gwirionedd a gyfeiliornasant, gan ddywedyd ddarfod yr adgyfodiad eisoes; ac y maent yn dadymchwelyd ffydd rhai.

19 Eithr y mae § [r] cadarn sail Duw yn sefyll, a chanddo y sel hon; [s] Yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo ef. A, Phob un sydd yn enwi enw Crist, ymadawed oddi wrth anghyfiawnder.

20 Eithr mewn tŷ mawr nid oes yn unig lestri o aur ac o arian, ond hefyd o bren ac o bridd; a [t] rhai i barch, a rhai i ammharch.

21 [u] Pwy bynnag gan hynny a'i glanhao ei hun oddi wrth y pethau hyn, efe a fydd yn llestr i barch, wedi ei sancteiddio ac yn gymmwys || i'r Arglwydd, [x] wedi ei ddarparu i bob gweithred dda.

22 Ond chwantau ieuengctid, ffo *oddi wrthynt:* a [y] dilyn gyfiawnder, ffydd, cariad, tangnefedd, gyd â'r rhai sy yn galw ar yr Arglwydd o galon bur.

23 Eithr [z] gochel ynfyd ac annysgedig gwestiynau, gan wybod eu bod yn magu ymrysonau.

24 Ac [a] ni ddylai gwas yr Arglwydd ymryson; ond bod yn dirion wrth bawb, [b] yn athrawus, yn † ddïoddefgar,

25 [c] Mewn addfwynder yn dysgu y rhai gwrthwynebus; *i edrych* [d] a roddo Duw iddynt hwy ryw amser edifeirwch i gydnabod y gwirionedd;

26 A bod iddynt ‡ ddyfod i'r iawn allan o fagl diafol, y rhai a § ddelid ganddo wrth ei ewyllys ef.

[g] Eph. 3. 14. Col. 1. 24.
[h] Rhuf. 6. 5, 8. 2 Cor. 4. 10.
[i] Rhuf. 8. 17, 18. 1 Petr 4. 13.
[k] Mat. 10. 33. Marc 8. 38.
[l] Rhuf. 3. 3. a 9. 6. Num. 23. 19.
[m] 1 Tim. 5. 21. a 6. 13. Pen. 4. 1.
† *ddir-tystiolaethu.*
[n] 1 Tim. 6. 4.
‡ *heb gywilydd arno.*
[o] 1 Tim. 6. 20.
[p] 1 Tim. 1. 20.
[q] 1 Tim. 6. 21.
§ *sail Duw yn sefyll yn sicr.*
[r] Mat. 24. 24. 1 Ioan 2. 19.
[s] Ioan 10. 14, 27. Edrych Num. 16. 5.
[t] Rhuf. 9. 21.
[u] Edrych Esay 52. 11.
|| *i waith yr Arglwydd.*
[x] Pen. 3. 17.
[y] 1 Tim. 6. 11.
[z] 1 Tim. 1. 4. a 4. 7. Tit. 3. 9.
[a] Tit 3. 2.
[b] 1 Tim. 3. 2. Tit. 1. 9.
† *amyneddgar.*
[c] Gal. 6. 1.
[d] Act. 8. 22.
‡ Gr. *ddeffroi.*
§ Gr. *ddaliwyd yn garcharorion, neu, yn fyw.*

## PEN. III.

1 *Y mae yn ei rybuddio ef am amseroedd blinion:* 6 *yn dangos pa fath ydyw gelynion y gwirionedd:* 10 *yn ei osod ei hun yn siampl iddo;* 16 *ac yn canmol yr ysgrythyr lân.*

66.

GWYBYDD hyn hefyd, y daw amseroedd enbyd [a] yn y dyddiau diweddaf.

2 Canys bydd dynion â'u serch arnynt eu hunain, yn arian-gar, yn ymffrostwŷr, yn feilchion, yn gablwŷr, yn anufuddion i rïeni, yn annïolchgar, yn annuwiol,

3 Yn angharedig, [b] yn torri cyfammod, yn † enllibaidd, yn anghymhesur, yn anfwyn, yn ddi-serch i'r rhai da,

4 Yn fradwŷr, yn waed-wyllt, yn chwyddedig, yn caru melus-chwant yn fwy nag yn caru Duw;

5 A chanddynt rith duwioldeb, eithr [c] wedi gwadu ei grym hi: [d] a'r rhai hyn gochel di.

6 Canys [e] o'r rhai hyn y mae y rhai sy yn ymlusgo i deiau, ac yn dwyn yn gaeth wrageddos llwythog o bechodau, wedi eu harwain gan amryw chwantau,

7 Yn dysgu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd.

8 [f] Eithr megis y safodd Jannes a Jambres yn erbyn Moses, felly y mae y rhai hyn hefyd yn sefyll yn erbyn y gwirionedd; [g] dynion o feddwl llygredig, [h] yn ‡ anghymmeradwy o ran y ffydd.

9 Eithr nid ant rhagddynt ym mhellach: canys eu hynfydrwydd fydd amlwg i bawb, megis y bu yr eiddynt hwythau.

10 Eithr [i] ti a § lwyr-adwaenost fy nysgeidiaeth, fy muchedd, fy arfaeth, ffydd, hirymaros, cariad, amynedd,

11 Yr erlidiau, y dïoddefiadau, y rhai a ddigwyddasant i mi [k] yn Antiochia, [l] yn Iconium, yn Lystra, pa erlidiau a ddïoddefais: eithr [m] oddi wrthynt oll y'm gwaredodd yr Arglwydd.

12 Ie, a [n] phawb a'r sy yn ewyllysio byw yn dduwiol yng Nghrist Iesu, a erlidir.

13 Eithr drwg-ddynion a thwyllwŷr a ant rhagddynt waethwaeth, gan dwyllo, a chael eu twyllo.

14 Eithr aros di yn y pethau a ddysgaist, ac a ymddiriedwyd i ti am danynt, gan wybod [o] gan bwy y dysgaist;

15 Ac i ti er yn fachgen wybod yr ysgrythyr lân, yr hon sydd abl i'th wneuthur di yn ddoeth i iachawdwriaeth, trwy'r ffydd sydd yng Nghrist Iesu.

16 [p] Yr holl ysgrythyr *sydd* wedi ei rhoddi gan ysprydoliaeth Dduw, ac *sydd* fuddiol i athrawiaethu, i argyoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder:

17 Fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei || berffeithio i bob gweithred dda.

† *ddiofalaid.*
[c] 1 Tim. 5. 8. Tit. 1. 16.
[d] 2 Thes. 3. 6.
[e] Pen. 2. 16, 23.
[e] Mat. 23. 14. Tit. 1. 11.
[f] Ioan 10. Exod. 7. 11.
[g] 1 Tim. 6. 5.
[h] Tit. 1. 16.
‡ *anghyfarwydd.*
[i] 1 Tim. 4. 6.
§ *ddiwyd-ddilynaist.*
[k] Act. 14. 15.
[l] Act. 14. 2, 5, 19.
[m] 2 Cor. 1. 10.
[n] Psal. 34. 19. Act. 14. 22. 1 Thess. 3. 3.
[o] Pen. 2. 2.
[p] 2 Petr 1. 20, 21.
|| *gyflawn addarparu.*

## PEN. IV.

1 *Y mae yn ei annog ef i fod yn ofalus ac yn ddiwyd i gyflawni ei swydd:* 6 *yn ei rybuddio nesed oedd ei farwolaeth ef:* 9 *yn ewyllysio iddo ddyfod atto ef ar fyrder;* 14 *ac yn ei rybuddio ef i ochelyd Alexander y gôf.* 16 *Yn dangos iddo beth a ddigwyddasai iddo wrth ei atteb cyntaf:* 19 *ac ar ol hynny y mae efe yn dibennu.*

66.

[a] YR ydwyf fi gan hynny yn † gorchymyn ger bron Duw, a'r Arglwydd Iesu Grist, [b] yr hwn a farna y byw a'r meirw yn ei ymddangosiad a'i deyrnas;

2 Pregetha'r gair; bydd daer mewn amser, allan o amser; argyoedda, cerydda, annog gyd â phob hir-ymaros ac athrawiaeth.

3 Canys daw yr amser pryd na ddïoddefont athrawiaeth iachus; eithr yn ol eu chwantau eu hunain y pentyrrant iddynt eu hunain athrawon, gan fod eu clustiau yn merwino;

4 Ac oddi wrth y gwirionedd y troant ymaith eu clustiau, ac [c] at chwedlau y troant.

5 Eithr gwylia di ym mhob peth, [d] dïoddef adfyd, gwna waith [e] efangylwr, ‡ cyflawna dy weinidogaeth.

[a] 1 Tim. 6. 13. Pen. 2. 14.
† *dir-dystiolaethu.*
[b] Act. 10. 42.
[c] Tim. 1. 4. a 4. 7.
[d] Pen. 1. 8. a 2. 3.
[e] Act. 21. 8. Eph. 4. 11.
‡ *llwyr-brofa.*

f Phil. 2. 17. 6 Canys f myfi yr awrhon a aberthir, ac
amser g fy ymddattodiad i a nesaodd.
g Phil. 1. 23. 7 h Mi a ymdrechais ymdrech dêg, mi a
2 Petr 1. 14. orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd.
h 1 Cor. 9. 24. 25. 8 O hyn allan rhoddwyd i coron cyfiawn-
Phil. 3. 14. der i'w chadw i mi, yr hon a rydd yr Ar-
1 Tim. 6. 12. glwydd, y Barnwr cyfiawn, i mi yn y dydd
hwnnw: ac nid yn unig i mi, ond hefyd i
i Iago 1. 12. bawb a garant ei ymddangosiad ef.
1 Petr 5. 4. 9 † Bydd ddyfal i ddyfod attaf yn eb-
† *Cais ddyfod.* rwydd:
10 Canys k Demas a'm gadawodd, gan
k Col. 4. 14. Philem. 24. garu y byd presennol, ac a aeth ymaith i
l Col. 4. 14. Thessalonica; Crescens i Galatia, Titus i
m Pen. 1. 15. Ddalmatia.
11 l Luc m yn unig sydd gyd â mi. Cym-
n Act. 15. 37. mer n Marc, a dwg gyd â thi: canys bud-
diol yw efe i mi i'r weinidogaeth.
o Act. 20. 4. 12 o Tychicus hefyd a ddanfonais i Ephe-
sus.
13 Y cochl a adewais i yn Troas gyd â
Charpus, pan ddelych, dwg *gyd â thi*, a'r
p 1 Tim. 1. 20. llyfrau, yn enwedig y memrwn.
14 p Alexander y gôf-copr a wnaeth i mi
q Psal. 28. 4. ddrygau lawer: q taled yr Arglwydd iddo
Dat. 18. 6. yn ol ei weithredoedd.
15 Yr hwn hefyd gochel dithau; canys
‡ *Neu, pregethiadau.* efe a safodd yn ddirfawr yn erbyn ein
‡ hymadroddion ni.

16 Yn fy atteb cyntaf ni safodd neb gyd â
mi, eithr pawb a'm gadawsant: *mi a archaf*
*ar Dduw* na's cyfrifer iddynt.
17 Eithr yr Arglwydd a safodd gyd â mi,
ac a'm nerthodd; fel trwof fi y byddai y
pregethiad yn § llawn hyspys, ac y clywai § *gyflawn.*
yr holl Genhedloedd: ac mi r a waredwyd o
enau y llew. r Psal. 22. 21.
18 A'r Arglwydd a'm gwared i rhag pob
gweithred ddrwg, ac a'm ceidw i'w deyrnas
nefol: i'r hwn *y byddo* gogoniant yn oes oes-
oedd. Amen.
19 Annerch s Prisca ac Acwila, a t || theu- s Act. 18. 2.
lu Onesiphorus. t 2 Tim. 1. 16.
20 u Erastus a arhosodd yn Corinth:
ond x Trophimus a adewais ym Miletum yn || *thŷ.*
glaf. u Act. 19. 22.
21 † Bydd ddyfal i ddyfod cyn y gauaf.
Y mae Eubulus yn dy annerch, a Phudens, x Act. 20. 4. a 21. 29.
a Linus, a Chlaudia, a'r brodyr oll.
22 Yr Arglwydd Iesu Grist *fyddo* gyd † *Cais ddyfod.*
â'th yspryd di, Gras *fyddo* gyd â chwi.
Amen.

¶ Yr ail *epistol* at Timothëus, yr esgob cyntaf a ddewiswyd ar eglwys yr Ephesiaid, a 'sgrifenwyd o Rufain, pan ddygwyd Paul yr ail waith ger bron ‡ Cesar Nero. ‡ *yr ymerawdr Nero.*

---

# ¶ Epistol PAUL yr Apostol at TITUS.

## PEN. I.

*5 I ba beth y gadawodd Paul Titus yn Creta. 6 Pa gynheddfau a ddylai fod mewn eglwyswŷr. 11 Rhaid yw cau safnau y rhai a ddysgant y pethau ni ddylent: 12 a pha fath wŷr ydynt.*

Bl. yr Argl. 54. PAUL gwas Duw, ac apostol Iesu Grist,
yn ol ffydd etholedigion Duw, ac adna-
byddiaeth y gwirionedd, a yr hon *sydd* yn
a 1 Tim. 3. 16. a 6. 3. ol duwioldeb;
2 † I obaith bywyd tragywyddol, yr hon
† *Mewn gobaith.* a addawodd b y digelwyddog Dduw c cyn
dechreu'r byd;
b Num. 23. 19. 3 Eithr mewn amseroedd prïodol efe a
c Rhuf. 16. 25. eglurhaodd ei air trwy bregethu, d am yr
hyn yr ymddiriedwyd i mi, yn ol gorchy-
2 Tim. 1. 9, 10. myn Duw ein Hiachawdwr;
4 At e Titus, f *fy* mab naturiol yn ol g y
d 1 Thess. 2. 4. ffydd gyffredinol: Gras, trugaredd, *a* thang-
1 Tim. 1. 11. nefedd oddi wrth Dduw Dad, a'r Arglwydd
Iesu Grist ein Hiachawdwr ni.
e 2 Cor. 2. 13. a 7. 14. 5 Er mwyn hyn y'th adewais yn Creta,
a 8. 6, 16. fel yr iawn drefnit y pethau sy yn ‡ ol, ac
Gal. 2. 3. h y gosodit henuriaid ym mhob dinas, megis
f 1 Tim. 1. 2. yr ordeiniais i ti.
6 i Os yw neb yn ddïargyoedd, yn wr
g 2 Cor. 4. 13. un wraig, a chanddo blant ffyddlon, heb
2 Petr 1. 1. gael y gair o fod yn afradlon, neu yn anu-
‡ *ddiffygiol.* fudd:
7 Canys rhaid i esgob fod yn ddïargy-
h Act. 14. 23. oedd, fel k goruchwyliwr Duw; nid yn gyn-
dyn, nid yn ddigllon, l nid yn win-gar, nid
i 1 Tim. 3. 2, &c. yn darawŷdd, m nid yn budr-elwa;
8 Eithr yn lletteugar, yn caru § daioni,
k 1 Cor. 4. 1, 2. yn sobr, yn gyfiawn, yn sanctaidd, yn dym-
herus;
l Lef. 10. 9. 9 Yn dal yn lew n y gair ffyddlon, yn ol
m 1 Tim. 3. 8. yr addysg, fel y gallo gynghori yn yr athraw-
1 Petr 5. 2. iaeth iachus, ac argyoeddi y rhai sy yn
§ *y rhai da.* gwrth-ddywedyd.
10 Canys o y mae llawer yn anufudd, yn
n 1 Tim. 1. 10, a 6. 3. 2 Tim. 1. 13. a 2. 2. a 4. 3. Pen. 2. 1. o 1 Tim. 1. 6.

ofer-siaradus, ac yn dwyllwŷr meddyliau,
yn enwedig y rhai o'r enwaediad: p 2 Tim. 3. 6.
11 Y rhai y mae yn rhaid cau eu safnau,
p y rhai sy yn dymchwelyd tai cyfan, gan q 1 Tim. 6. 5.
athrawiaethu y pethau ni ddylid, q er mwyn r Act. 17. 28.
budr elw.
12 r Un o honynt hwy eu hunain, || un || *segurllyd.*
o'u prophwydi hwy eu hunain, a ddy-
wedodd, Y Cretiaid *sydd* bob amser yn s 1 Tim. 1. 4. a 4. 7.
gelwyddog, drwg fwystfilod, boliau || gor-
ddïog. t Col. 2. 22.
13 Y dystiolaeth hon sydd wir. Am ba u Luc 11. 39, 40, 41.
achos argyoedda hwy yn llym, fel y bydd- Rhuf. 14. 14, 20.
ont iach yn y ffydd;
14 s Heb ddal ar chwedlau Iuddewaidd, 1 Cor. 6. 12. a 10. 23, 25.
a t gorchymynion dynion, yn troi oddi wrth
y gwirionedd. 1 Tim. 4. 3, 4.
15 u Pur yn ddïau *yw* pob peth i'r rhai
pur: eithr x i'r rhai halogedig, a'r di-ffydd, x Rhuf. 14. 23.
nid pur dim; eithr halogedig yw hyd yn oed
eu meddwl a'u cydwybod hwy. y 2 Tim. 3. 5.
16 Y maent yn proffesu yr adwaenant Judas 4.
Dduw; eithr y ar weithredoedd *ei* wadu y z Rhuf. 1. 28.
maent, gan fod yn ffiaidd, ac yn anufudd, 2 Tim. 3. 8.
ac at bob gweithred dda z yn † anghymme- † *anghyfarwydd.*
radwy.

## PEN. II.

*1 Y mae efe yn hyfforddi Titus yn ei athrawiaeth, ac yn ei fuchedd. 9 Rhan gweision, a phob math ar Gristianogion.*

EITHR llefara di y pethau a weddo i 65. a 1 Tim. 1. 10. a 6. 3.
a athrawiaeth iachus:
2 Bod o'r hynaf-gwŷr † yn sobr, yn onest, 2 Tim. 1. 13. Pen. 1. 9.
yn gymhesur, yn iach yn y ffydd, yngha- † *yn wyliadwrus.*
riad, mewn amynedd:
3 *Bod* o'r b hynaf-wragedd yr un ffunud b 1 Tim. 2. 9.
mewn ymddygiad fel y gweddai i ‡ sanct- 1 Petr 3. 3.
eiddrwydd; nid yn § enllibaidd, nid wedi ‡ *rai sanctaidd.*
ymrôi i win lawer, yn rhoi athrawiaeth o
ddaioni:
4 Fel y gallont wneuthur y gwragedd § *ddiafliaid.*

ieuaingc yn bwyllog, i garu eu gwŷr, i garu
eu plant,
5 Yn * sobr, yn ‡ bur, yn gwarchad gar-
tref, yn dda, c yn ddarostyngedig i'w gwŷr
priod, d fel na chabler gair Duw.
6 Y gwŷr ieuaingc yr un ffunud cynghora
i fod yn sobr;
7 e Gan dy ddangos dy hun ym mhob
peth yn ensampl i weithredoedd da: *a*
*dangos*, mewn athrawiaeth, anllygredigaeth,
gweddeidd-dra, purdeb;
8 f Ymadrodd iachus yr hwn ni aller beio
arno; g fel y byddo i'r hwn *sydd* yn y gwrth-
wyneb gywilyddio, heb ganddo ddim drwg
i'w ddywedyd am danoch chwi.
9 *Cynghora* h weision i fod yn ddarostyng-
edig i'w meistraid eu hun, *ac* i ryngu bodd
*iddynt* i ym mhob peth; nid yn gwrth-ddy-
wedyd:
10 Nid yn darn-guddio, ond yn dangos
pob ffyddlondeb da; fel yr harddont athraw-
iaeth Duw ein Hiachawdwr ym mhob peth.
11 Canys ymddangosodd k gras Duw, yr
hwn sydd yn dwyn iachawdwriaeth i bob
dyn;
12 Gan ein dysgu ni l i wadu annuwioldeb
a chwantau bydol, a byw yn sobr, ac yn
gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr
awrhon;
13 m Gan ddisgwyl am y gobaith gwyn-
fydedig, ac ymddangosiad gogoniant y Duw
mawr, a'n Hiachawdwr Iesu Grist:
14 n Yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom,
i'n prynu ni oddi wrth bob anwiredd, ac i'n
puro ni iddo ei hun o yn bobl briodol,
p awyddus i weithredoedd da.
15 Y pethau hyn llefara a chynghora, ac
argyhoedda gyd â phob awdurdod. q Na
ddiystyred neb di.

* bwyllog. ‡ diwair. c 1 Cor. 14. 34. Eph. 5. 22. Col. 3. 18. 1 Petr 3. 1. d Rhuf. 2. 24. 1 Tim. 6. 1. e 1 Tim. 4. 12. f 1 Tim. 6. 3. g 1 Tim. 5. 14. 1 Petr 2. 12, 15. a 3. 16. h Eph. 6. 5. i Eph. 5. 24. k Pen. 3. 4. l Col. 1. 22. m 1 Cor. 1. 7. Phil. 3. 20. n Gal. 1. 4. a 2. 20. o Exod. 15. 16. a 19. 5. p Eph. 2. 10. q 1 Tim. 4. 12.

## PEN. III.

*Y mae Paul yn hyfforddi Titus pa bethau a ddysg, a pha bethau ni ddysg efe iddynt. 10 Am ochelyd heretic cyndyn. 12 Y mae yn dangos iddo i ba fan, a pha bryd, y deuai atto ef: ac felly y mae yn dibennu.*

65. DWG ar gof iddynt fod a yn ddarostyn-
gedig i'r tywysogaethau a'r awdurdo-
dau, fod yn ufudd, fod yn barod i bob
gweithred dda,
2 Bod heb gablu neb, b yn anymladdgar,
yn dirion, gan ddangos pob addfwynder tu
ag at bob dyn.
3 Canys c yr oeddym ninnau hefyd gynt
yn annoethion, yn anufudd, yn cyfeiliorni,
yn gwasanaethu chwantau ac amryw felus-
wedd, gan fyw mewn drygioni a chynfigen,
yn ddigasog, yn casâu ein gilydd.
4 Eithr pan ymddangosodd d daioni a
† chariad Duw ein Hiachubwr tu ag at
ddyn,
5 e Nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai
a wnaethom ni, eithr yn ol ei drugaredd yr
achubodd efe nyni, trwy f olchiad yr adfe-
nedigaeth, ac adnewyddiad yr Yspryd
Glân;
6 g Yr hwn a dywalltodd efe arnom ni yn
‡ helaeth, trwy Iesu Grist ein Hiachawdwr:
7 Fel, gwedi ein cyfiawnhâu trwy ei ras
ef, y'n gwneid yn etifeddion h yn ol gobaith
bywyd tragywyddol.
8 Gwir *yw*'r gair, ac am y pethau hyn yr
ewyllysiwn i ti fod yn daer, fel y byddo
i i'r sawl a gredasant i Dduw ofalu ar flaen-
ori mewn gweithredoedd da. Y pethau hyn
sydd dda a buddiol i ddynion.
9 Eithr k gochel gwestiynau ffol, ac achau,
a chynhennau, ac ymrysonau ynghylch y
ddeddf: canys anfuddiol ydynt ac ofer.
10 l Gochel y dyn a fyddo heretic, wedi
un ac ail rhybudd:
11 Gan wybod fod y cyfryw un wedi § ei
wyrdroi, ac yn pechu, gan fod yn ei ddamn-
io ei hunan.
12 Pan ddanfonwyf Artemas attat, neu
m Tychicus, bydd ddyfal i ddyfod attaf i
Nicopolis: canys yno yr arfaethais aeafu.
13 Hebrwng Zenas y cyfreithiwr, ac n Apol-
los, yn ddiwyd; fel na byddo arnynt eisiau
dim.
14 A dysged o yr eiddom ninnau flaenori
mewn gweithredoedd da i angenrheidiau, fel
na byddont p yn ddiffrwyth.
15 Y mae yr holl rai sy gyd â mi yn dy
annerch. Annerch y rhai sy yn ein caru ni
yn y ffydd. Gras *fyddo* gyd â chwi oll.
Amen.

¶ At Titus, yr esgob cyntaf a ddewiswyd ar eglwys y Cretiaid, yr ysgrifenwyd o Nicopolis ym Macedonia.

a Rhuf. 13. 1. 1 Petr 2. 13. b 2 Tim. 2. 24, 25. c 1 Cor. 6. 11. Col. 3. 7. Eph. 2. 1. 1 Petr 4. 3. d Pen. 2. 11. † *dyn-serch Duw ein Hiachawdwr.* e Rhuf. 3. 20. a 9. 11. a 11. 6. Eph. 2. 4, 9. 2 Tim. 1. 9. f Ioan 3. 3, 5. Eph. 5. 26. g Ezec. 36. 25. Act. 2. 33. Rhuf. 5. 5. ‡ Gr. *oludog.* h Rhuf. 3. 24. i Adn. 14. k 1 Tim. 1. 4. 2 Tim. 2. 23. l Mat. 18. 17. Rhuf. 16. 17. 2 Thess. 3. 6, 14. 2 Ioan 10. § *ei ddymchwelyd.* m Act. 20. 4. 2 Tim. 4. 12. n Act. 18. 24. o Adn. 8. p Phil. 1. 11. a 4. 17. 2 Petr 1. 8.

# ¶ Epistol S. PAUL at PHILEMON.

*4 Y mae yn wŷch gantho ef glywed am ffydd a chariad Philemon; 9 ac yn dymuno arno fod yn fwyn i'w was Onesimus, 12 a'i gymmeryd ef adref yn garedig drachefn.*

Bl. yr Argl. 64. PAUL a carcharor Crist Iesu, a'r brawd
Timotheus, at Philemon ein hanwylyd,
a'n cyd-weithiwr,
2 Ac at Apphia *ein* hanwylyd, ac at
b Archippus c ein cyd-filwr, ac at d yr
eglwys sydd yn dy dŷ di.
3 Gras i chwi, a thangnefedd, oddi wrth
Dduw ein Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.
4 e Yr wyf yn diolch i'm Duw, gan
wneuthur coffa am danat yn wastadol yn fy
ngweddïau,
5 f Wrth glywed dy gariad, a'r ffydd sydd
gennyt tu ag at yr Arglwydd Iesu, a thu ag
at yr holl saint;
6 Fel y gwneler cyfrannogiad dy ffydd di
yn nerthol, trwy adnabod pob peth daio-
nus, a'r sydd ynoch chwi yng Nghrist
Iesu.
7 Canys y mae gennym lawer o lawenydd
a diddanwch yn dy gariad di, herwydd bod
ymysgaroedd y saint wedi eu llonni trwot
ti, frawd.
8 O herwydd paham, g er bod gennyf
hyfdra lawer yng Nghrist, i orchymyn i ti
y peth sydd weddus;
9 Etto o ran cariad yr ydwyf yn hytrach
yn attolwg, er fy mod yn gyfryw un a Phaul
yr hynaf-gwr, ac yr awrhon hefyd yn gar-
charor Iesu Grist.
10 Yr ydwyf yn attolwg i ti dros fy mab
h Onesimus, i yr hwn a genhedlais i yn fy
rhwymau:
11 Yr hwn gynt *a fu* i ti yn anfuddiol, ond
yr awrhon yn fuddiol i ti ac i minnau he-
fyd;
12 Yr hwn a ddanfonais drachefn: a der-
byn dithau ef, yr hwn yw fy ymysgaroedd i.
13 Yr hwn yr oeddwn i yn ewyllysio ei
ddal gyd â mi, k fel drosot ti y gwasanaethai
efe fi yn rhwymau yr efengyl.

a Eph. 3. 1. a 4. 1. 2 Tim. 1. 8. b Col. 4. 17. c Phil. 2. 25. d Rhuf. 16. 5. e Eph. 1. 16. 1 Thess. 1. 2. 2 Thess. 1. 3. f Eph. 1. 15. Col. 1. 4. g 1 Thess. 2. 6. h Col. 4. 9. i 1 Cor. 4. 15. Gal. 4. 19. k 1 Cor. 16. 17. Phil. 2. 30.

14 Eithr heb dy † feddwl di ni cwyllys-
iais wneuthur dim; [l] fel na byddai dy dda-
ioni di megis o anghenrhaid, ond o fodd.
15 Canys ysgatfydd er mwyn hyn yr ym-
adawodd dros amser, fel y derbynit ef yn
dragywydd;
16 Nid fel gwas bellach, eithr uwch law
gwas, yn frawd anwyl, yn enwedig i mi;
eithr pa faint mwy i ti, yn y cnawd ac yn
yr Arglwydd hefyd?
17 Os wyt ti gan hynny yn fy nghymmer-
yd i yn ‡ gydymmaith, derbyn ef fel myfi.
18 Ac os gwnaeth efe ddim cam â thi, neu
*os* yw yn *dy* ddyled, cyfrif hynny arnaf fi;
19 Myfi Paul a'i 'sgrifenais â'm llaw
fy hun, myfi a'i talaf: fel na ddywedwyf
wrthyt, dy fod yn fy nyled i ym mhellach
am danat dy hun hefyd.

† *gyngor.* [l] 2 Cor. 9. 7. ‡ *gyfrannog.*

20 Ië, frawd, gâd i mi dy fwynhâu di yn
yr Arglwydd: llonna fy ymysgaroedd i yn
yr Arglwydd.
21 [m] Gan hyderu ar dy ufudd-dod, yr
ysgrifenais attat, gan wybod y gwnai, ie,
fwy nag yr wyf yn ei ddywedyd.
22 Heb law hyn hefyd, parottoa i mi let-
ty: canys [n] yr ydwyf yn gobeithio [o] trwy
eich gweddïau chwi y rhoddir fi i chwi.
23 Y mae yn dy annerch, [p] Epaphras, fy
nghyd-garcharor yng Nghrist Iesu;
24 [q] Marc, [r] Aristarchus, [s] Demas, Luc, fy
nghyd-weithwyr.
25 Gras ein Harglwydd Iesu Grist *fyddo*
gyd â'ch yspryd chwi. Amen.

¶ At Philemon yr ysgrifenwyd o Ru-
fain, gyd â'r gwas Onesimus.

[m] 2 Cor. 7. 16. [n] Phil. 1. 25. a 2. 24. [o] 2 Cor. 1. 11. [p] Col. 1. 7. a 4. 12. [q] Act. 12. 12. [r] Act. 19. 29. [s] Col. 4. 14.

# ¶ Epistol PAUL yr Apostol at yr HEBREAID.

## PEN. I.

1 *Duw yn y dyddiau diweddaf a lefarodd
wrthym ni trwy ei Fab ei hun: 4 yr hwn, o
ran ei berson a'i swydd, sydd yn rhagori ar
yr angylion. 14 Swydd yr angylion.*

DUW, wedi iddo lefaru lawer gwaith, a
[a] llawer modd, gynt wrth y tadau trwy
y prophwydi, [b] yn y dyddiau diweddaf hyn
[c] a lefarodd wrthym ni yn *ei* Fab;
2 [d] Yr hwn a wnaeth efe yn etifedd pob
peth, [e] trwy'r hwn hefyd y gwnaeth efe y
bydoedd:
3 [f] Yr hwn, *ac* efe yn ddisgleirdeb *ei*
ogoniant *ef*, ac yn wir lun ei berson ef, ac
[g] yn cynnal pob peth trwy air ei nerth,
[h] wedi puro ein pechodau ni trwyddo ef ei
hun, [i] a eisteddodd ar ddeheulaw y Maw-
redd yn y goruwch-leoedd;
4 Wedi *ei* wneuthur o hynny yn well nâ'r
angylion, o gymmaint ag [k] yr etifeddodd
efe enw mwy rhagorol nâ hwynt-hwy.
5 Canys wrth bwy o'r angylion y dywed-
odd efe un amser, [l] Fy mab ydwyt ti; myfi
heddyw a'th genhedlais di? A thrachefn,
[m] Myfi a fyddaf iddo ef yn Dad, ac efe a
fydd i mi yn Fab?
6 † A thrachefn, pan yw yn dwyn [n] y
Cyntaf-anedig i'r byd, y mae yn dywedyd,
[o] Ac addoled holl angylion Duw ef.
7 Ac ‡ am yr angylion y mae yn dywedyd,
[p] Yr hwn sydd yn gwneuthur ei angylion yn
ysprydion, a'i weinidogion yn fflam dân.
8 Ond wrth y Mab, [q] Dy orseddfaingc di,
O Dduw, *sydd* yn oes oesoedd: teyrn-wialen
§ uniondeb *yw* teyrn-wialen dy deyrnas di.
9 Ti a geraist gyfiawnder, ac a gaseaist
anwiredd: am hynny y'th eneiniodd Duw,
*sef* dy Dduw di, ag olew gorfoledd tu hwnt
i'th gyfeillion.
10 Ac, [r] Tydi yn y dechreuad, Arglwydd,
a sylfaenaist y ddaear: a gwaith dy ddwy-
law di yw y nefoedd.
11 [s] Hwynt-hwy a ddarfyddant; ond tydi
sydd yn parhau: a hwynt-hwy oll fel dilled-
yn a heneiddiant;
12 Ac megis gwisg y plygi di hwynt, a
hwy a newidir: ond tydi yr un ydwyt, a'th
flynyddoedd ni phallant.
13 Ond wrth ba un o'r angylion y dy-
wedodd efe un amser, [t] Eistedd ar fy ne-
heulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn
droedfaingc i'th draed?
14 [u] Onid ysprydion gwasanaethgar ydynt
hwy oll, wedi eu danfon i wasanaethu er

Bl. yr Argl. 64.
[a] Num. 12. 6, 8. [b] Gal. 4. 4. [c] Ioan 15. 15. [d] Psal. 2. 8. Mat. 21. 38. [e] Ioan 1. 3. 1 Cor. 8. 6. Col. 1. 16. [f] Doeth. 7. 26. 2 Cor. 4. 4. Col. 1. 15. [g] Ioan 1. 4. Col. 1. 17. Dat. 4. 11. [h] Pen. 9. 12, 14, 26. [i] Psal. 110. 1. Eph. 1. 20. Pen. 10. 12. [k] Eph. 1. 21. Phil. 2. 9, 10. [l] Psal. 2. 7. Act. 13. 33. Pen. 5. 5. [m] 2 Sam. 7. 14. 1 Chron. 22. 10. Psal. 89. 26, 27. † *Pan ddyco drachefn y.* [n] Rhuf. 8. 29. [o] Psal. 97. 7. ‡ Gr. *wrth.* [p] Psal. 104. 4. [q] Psal. 45. 6, 7. § Gr. *i uniondeb.* [r] Psal. 102. 25, &c. [s] Esay 34. 4. a 51. 6. 2 Petr 3. 7, 10. [t] Psal. 110. 1. Adn. 3.

[u] Psal. 34. 7. a 91. 11. a 103. 20, 21. Dan. 7. 10. Mat. 18. 10.

mwyn y rhai a gânt etifeddu iachawdwr-
iaeth?

## PEN. II.

1 *Y dylem ni fod yn ufudd i Grist Iesu; 5 gan
fod yn wiw ganddo ef ei hun gymmeryd ein
naturiaeth ni arno, 14 fel yr oedd yn an-
ghenrhaid.*

AM hynny y mae yn rhaid i ni ddal yn
well ar y pethau a glywsom, rhag un
amser i ni † *eu* gollwng *hwy* i golli.
2 Canys os bu gadarn y gair [a] a lefarwyd
trwy angylion, ac os derbyniodd [b] pob tro-
sedd ac anufudd-dod gyfiawn daledigaeth;
3 [c] Pa fodd y dïangwn ni, os esgeuluswn
iachawdwriaeth gymmaint, [d] yr hon, wedi
dechreu ei thraethu trwy'r Arglwydd, [e] a
sicrhawyd i ni gan y rhai a'i clywsant *ef*;
4 [f] *A* Duw hefyd yn cyd-dystiolaethu,
trwy arwyddion a rhyfeddodau, ac amryw
nerthoedd, a ‡ [g] doniau yr Yspryd Glân, yn
ol ei ewyllys ei hun?
5 Canys nid i'r angylion y darostyngodd
efe [h] y byd a ddaw, am yr hwn yr ydym
yn llefaru.
6 Eithr un mewn rhyw fan a dystiolaeth-
odd, gan ddywedyd, [i] Pa beth yw dyn, i ti
i feddwl am dano? neu fab dyn, i ti i ym-
weled ag ef?
7 Ti a'i gwnaethost ef ychydig § is nâ'r
angylion; â gogoniant ac anrhydedd y co-
ronaist ti ef, ac a'i gosodaist ef ar weithred-
oedd dy ddwylaw:
8 [k] Ti a ddarostyngaist bob peth dan ei
draed ef. Canys wrth ddarostwng pob peth
iddo, ni adawodd efe ddim heb ddarostwng
iddo. Ond yr awrhon [l] nid ydym ni etto
yn gweled pob peth wedi eu darostwng iddo.
9 Eithr yr ydym ni yn gweled Iesu, [m] yr
hwn a wnaed ychydig yn is nâ'r angylion,
‖ o herwydd dïoddef marwolaeth, [n] wedi
ei goroni â gogoniant ac anrhydedd; fel
trwy ras Duw y profai efe farwolaeth [o] dros
bob dyn.
10 Canys gweddus oedd iddo ef, [p] o her-
wydd yr hwn *y mae* pob peth, a thrwy'r hwn
*y mae* pob peth, wedi *iddo* ddwyn meibion
lawer i ogoniant, [q] berffeithio [r] Tywysog eu
hiachawdwriaeth hwy trwy ddïoddefiadau.
11 Canys [s] yr hwn sydd yn sancteiddio,
a'r rhai a sancteiddir, [t] o'r un *y maent* oll.
Am ba achos nid yw gywilyddus ganddo eu
galw hwy yn frodyr;
12 Gan ddywedyd, [u] Myfi a fynegaf dy
enw di i'm brodyr; ynghanol yr eglwys
† y'th folaf di.

64.
† Gr. *ollwng fel llestri cantdryll.* [a] Act. 7. 53. Gal. 3. 19. [b] Deut. 27. 26. [c] Pen. 12. 25. [d] Mat. 4. 17. Marc 1. 14. [e] Luc 1. 2. [f] Marc 16. 20. Act. 14. 3. ‡ *rhanniadau.* [g] 1 Cor. 12. 4, 7, 11. [h] Pen. 6. 5. 2 Petr 3. 13. [i] Psal. 8. 4, &c. § *amser yn is.* [k] 1 Cor. 15. 27. Eph. 1. 22. Pen. 1. 13. [l] 1 Cor. 15. 25. [m] Phil. 2. 7, 8, 9. ‖ *trwy ddïoddef.* [n] Act. 2. 33. [o] Ioan 12. 32. Rhuf. 5. 18. [p] Rhuf. 11. 36. [q] Pen. 5. 9. [r] Act. 3. 15. a 5. 31. [s] Pen. 10. 10, 14. [t] Act. 17. 26. [u] Psal. 22. 22, 25. † *y canaf emynau i ti.*

13 A thrachefn, [x] Myfi a fyddaf yn ym-
ddiried ynddo. A thrachefn, [y] Wele, fi, a'r
plant a roddes Duw i mi.
14 Oblegid hynny, gan fod y plant yn
gyfrannogion o gig a gwaed, [z] yntau hefyd
yr un modd a fu gyfrannog o'r un *pethau*;
[a] fel trwy farwolaeth y dinystriai efe yr hwn
oedd â nerth marwolaeth ganddo, hynny
yw, diafol;
15 Ac y gwaredai hwynt y rhai [b] trwy
ofn marwolaeth oeddynt dros eu holl fywyd
dan gaethiwed.
16 Canys † ni chymmerodd efe *naturiaeth*
angylion; eithr had Abraham a gymmerodd
efe.
17 Am ba achos y dylai efe ym mhob
peth fod yn gyffelyb i'w frodyr; fel y byddai
[c] drugarog ac Arch-offeiriad ffyddlon, mewn
pethau *yn perthyn* i Dduw, i wneuthur cym-
mod dros bechodau 'r bobl.
18 Canys yn gymmaint a dïoddef o hono
ef, gan gael ei demtio, efe a ddichon gyn-
northwyo y rhai a demtir.

[x] Psal. 18. 2.
[y] Esay 8. 18.
[z] Ioan 1. 14. Phil. 2. 7.
[a] 1 Cor. 15. 54, 55. Col. 2. 15. 2 Tim. 1. 10.
[b] Rhuf. 8. 15.
† Gr. *nid yw yn cymmeryd gafael ar angylion, eithr ar had Abraham y mae efe yn cymmeryd gafael.*
[c] Pen. 4. 15. a 5. 1, 2.

## PEN. III.

1 *Bod Crist yn rhagori ar Moses: 7 am hynny oni chredwn ni iddo ef, yr ydym ni yn haeddu ychwaneg gospedigaeth nâ'r Israeliaid gwrthnysig.*

64. O Herwydd paham, frodyr sanctaidd, cy-
frannogion o'r [a] galwedigaeth nefol,
ystyriwch [b] Apostol ac Arch-offeiriad ein
cyffes ni, Crist Iesu;
2 Yr hwn sydd ffyddlon i'r hwn a'i † hor-
deiniodd ef, megis ag *y bu* [c] Moses yn ei holl
dŷ ef.
3 Canys fe a gyfrifwyd hwn yn haeddu
mwy gogoniant nâ Moses, o gymmaint ag
[d] y mae'r hwn a adeiladodd y tŷ yn cael
mwy o barch nâ'r tŷ.
4 Canys pob tŷ a adeiledir gan ryw un;
ond [e] yr hwn a adeiladodd bob peth *yw* Duw.
5 A Moses yn wir *a fu* ffyddlon yn ei holl
dŷ megis gwas, er tystiolaeth i'r pethau
oedd i'w llefaru;
6 Eithr Crist, megis Mab ar ei dŷ ei hun:
[f] tŷ yr hwn ydym ni, [g] os nyni a geidw ein
hyder a gorfoledd ein gobaith yn sicr hyd y
diwedd.
7 Am hynny, megis y mae'r Yspryd Glân
yn dywedyd, [h] Heddyw, os gwrandêwch ar
ei leferydd ef,
8 Na chaledwch eich calonnau, megis yn
y cyffroad, yn nydd y profedigaeth yn y di-
ffaethwch:
9 Lle y temtiodd eich tadau fyfi, y prof-
asant fi, ac y gwelsant fy ngweithredoedd
ddeugain mlynedd.
10 Am hynny y digiais wrth y genhedl-
aeth honno, ac y dywedais, Y maent bob
amser yn cyfeiliorni yn *eu* calonnau; ac ni
adnabuant fy ffyrdd i.
11 Fel y tyngais yn fy llid, ‡ na chaent
ddyfod i mewn i'm gorphwysfa.
12 Edrychwch, frodyr, na byddo un amser
yn neb o honoch galon ddrwg anghredin-
iaeth, gan ymado oddi wrth Dduw byw.
13 Eithr cynghorwch eich gilydd bob
dydd tra y gelwir hi Heddyw; fel na cha-
leder neb o honoch trwy dwyll pechod.
14 Canys fe a'n gwnaed ni yn gyfrannog-
ion o Grist, [i] os daliwn ddechreuad ein hy-
der yn sicr hyd y diwedd.
15 Tra y dywedir, [k] Heddyw, os gwran-
dêwch ar ei leferydd ef, na chaledwch eich
calonnau, megis yn y cyffroad.

[a] Phil. 3. 14.
[b] Rhuf. 15. 8. Pen. 4. 14. a 6. 20. a 8. 1. a 9. 11.
† *gwnaeth,* 1 Sam. 12. 6.
[c] Num. 12. 7.
[d] Zech. 6. 12. Mat. 16. 18.
[e] Eph. 2. 10.
[f] 1 Cor. 3. 16. a 6. 19. 2 Cor. 6. 16. Eph. 2. 21, 22. 1 Tim. 3. 15. 1 Petr 2. 5.
[g] Mat. 24. 13. Rhuf. 5. 2. Adn. 14. Pen. 6. 11.
[h] Psal. 95. 7. Adn. 15. Pen. 4. 7.
‡ Gr. *os cânt.*
[i] Adn. 6.
[k] Adn. 7.

16 Canys rhai, wedi gwrando, a'i digia-
sant *ef*: ond nid pawb a'r a ddaethant o'r
Aipht trwy Moses.
17 Ond wrth bwy y digiodd efe ddeugain
mlynedd? onid wrth y rhai a bechasent,
[l] y rhai y syrthiodd eu cyrph yn y diffaeth-
wch?
18 Ac [m] wrth bwy y tyngodd efe, na
chaent hwy fyned i mewn i'w orphwysfa
ef? onid wrth y rhai § ni chredasant?
19 Ac yr ydym ni yn gweled na allent
hwy fyned i mewn o herwydd anghredin-
iaeth.

[l] Num. 14. 22, 29, &c. a 26. 65. Judas 5.
[m] Num. 14. 30. Deut. 1. 34, 35.
§ *nid ufuddhasant?*

## PEN. IV.

1 *Trwy ffydd y mae cael gorphwysfa y Cristionogion. 12 Gallu gair Duw. 14 Trwy ein Harch-offeiriad Iesu Fab Duw, yr hwn oedd heb bechod, ond nid heb ei wendid, 16 y mae i ni gyrchu yn hŷf at orsedd-faingc gras.*

OFNWN gan hynny, gan fod addewid 64.
wedi ei adael *i ni* i fyned i mewn i'w
orphwysfa ef, rhag bod neb o honoch yn
debyg i fod yn ol.
2 Canys i ninnau y pregethwyd yr efeng-
yl, megis ag iddynt hwythau: eithr y gair
a † glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy,
‡ am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â
ffydd yn y rhai a'i clywsant.
3 Canys yr ydym ni, y rhai a gredasom,
yn myned i mewn i'r orphwysfa, megis y
dywedodd efe, [a] Fel y tyngais yn fy llid,
Os ant i mewn i'm gorphwysfa i: er bod
y gweithredoedd wedi eu gwneuthur er
seiliad y byd.
4 Canys efe a ddywedodd mewn man am
y seithfed *dydd* fel hyn; [b] A gorphwysodd
Duw y seithfed dydd oddi wrth ei holl
weithredoedd.
5 Ac yma drachefn, Os ant i mewn i'm
gorphwysfa i.
6 Gan hynny gan fod hyn wedi ei adael,
fod rhai yn myned i mewn iddi, ac nad aeth
y rhai y pregethwyd § yn gyntaf iddynt i
mewn, o herwydd ‖ anghrediniaeth;
7 Trachefn, y mae efe yn pennu rhyw
ddiwrnod, gan ddywedyd yn Dafydd, Hedd-
yw, ar ol cymmaint o amser; megis y dy-
wedir, [c] Heddyw, os gwrandêwch ar ei lef-
erydd ef, na chaledwch eich calonnau.
8 Canys pe dygasai † Jesus hwynt i or-
phwysfa, ni soniasai efe ar ol hynny am
ddiwrnod arall.
9 Y mae gan hynny ‡ orphwysfa etto yn
ol i bobl Dduw.
10 Canys yr hwn a aeth i mewn i'w or-
phwysfa ef, hwnnw hefyd a orphwysodd
oddi wrth ei weithredoedd ei hun, megis *y*
*gwnaeth* Duw oddi wrth yr eiddo yntau.
11 Byddwn ddyfal gan hynny i fyned i
mewn i'r orphwysfa honno, fel na syrthio
neb yn ol yr un siampl o § anghrediniaeth.
12 Canys [d] bywiol *yw* gair Duw, a nerthol,
a [e] llymmach nag un cleddyf [f] dau-finiog,
ac yn cyrhaeddyd trwodd hyd wahaniad yr
enaid a'r yspryd, a'r cymmalau a'r mêr; ac
[g] yn barnu meddyliau a bwriadau y galon.
13 Ac [h] nid oes greadur anamlwg yn ei
olwg ef: eithr pob peth *sydd* yn noeth ac yn
agored i'w lygaid ef am yr hwn yr ydym
yn son.
14 Gan fod wrth hynny i ni [i] Arch-offeir-
iad mawr, [k] yr hwn a aeth i'r nefoedd, Iesu
Mab Duw, [l] glynwn yn *ein* proffes.
15 Canys [m] nid oes i ni arch-offeiriad
heb fedru cyd-ddïoddef gyd â'n gwendid

† *bregethwyd.*
‡ *o herwydd nad oeddynt wedi eu huno trwy ffydd i'w glywed.*
[a] Psal. 95. 11.
[b] Gen. 2. 2. Exod. 31. 17.
§ *yr efengyl yn.*
‖ *anufudd-dod.*
[c] Psal. 95. 7. Pen. 3. 7.
† *Sef, Josua.*
‡ *gadw sabbath.*
§ *anufudd-dod.*
[d] 2 Cor. 10. 4, 5.
[e] Diar. 5. 4.
[f] Dat. 1. 16. a 2. 16.
[g] 1 Cor. 14. 24.
[h] Psal. 33. 13, 14. a 90. 8. a 139. 11, 12.
[i] Pen. 3. 1.
[k] Pen. 7. 26. a 9. 12, 24.
[l] Pen. 10. 23.
[m] Pen. 2. 18.

ni; ond [n] wedi ei demtio ym mhob peth yr un ffunud â ninnau, [o] *etto* heb bechod.

16 Am hynny [p] awn yn hyderus at orsedd-faingc y gras, fel y derbyniom drugaredd, ac y caffom ras † yn gymmorth cyfamserol.

n Luc 22. 28. o 2 Cor. 5. 21. p Eph. 2. 18. a 3. 12. Pen. 10. 19, 21, 22.

† *i'n cymmorth mewn pryd.*

## PEN. V.

1 *Awdurdod a braint offeiriadaeth ein Hachubwr.* 11 *Y mae efe yn beio arnynt, am eu bod mor esgeulus ac mor ddïwybod yn y pethau hynny.*

64. CANYS pob arch-offeiriad, wedi ei gymmeryd o blith dynion, [a] a osodir dros ddynion [b] yn y pethau *sy* tu ag at Dduw, fel yr offrymmo roddion ac aberthau dros bechodau:

2 [c] Yr hwn a ddichon † dosturio wrth y rhai sy mewn anwybodaeth ac amryfusedd; am ei fod [d] yntau hefyd wedi ei amgylchu â gwendid:

3 Ac [e] o achos hyn y dylai, megis dros y bobl, felly hefyd drosto ei hun, offrymmu dros bechodau.

4 [f] Ac nid yw neb yn cymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond yr hwn a alwyd gan Dduw, megis [g] Aaron:

5 [h] Felly Crist hefyd ni's gogoneddodd ei hun i fod yn Arch-offeiriad; ond yr hwn a ddywedodd wrtho, [i] Tydi yw fy Mab; myfi heddyw a'th genhedlais di.

6 Megis y mae yn dywedyd mewn *lle* arall, [k] Offeiriad *wyt* ti yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec.

7 Yr hwn yn nyddiau ei gnawd, gwedi iddo, [l] trwy lefain cryf a dagrau, [m] offrwm gweddïau ac erfyniau at yr hwn [n] oedd abl i'w achub ef oddi wrth farwolaeth, a chael ei wrando, ‡ [o] yn yr hyn a ofnodd;

8 Er ei fod yn Fab, a ddysgodd [p] ufudddod trwy y pethau a ddïoddefodd:

9 Ac [q] wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn § Awdur iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhânt iddo;

10 Wedi ei gyfenwi gan Dduw yn Archoffeiriad yn ol urdd Melchisedec.

11 Am yr hwn y mae i ni lawer i'w dywedyd, ac anhawdd eu traethu, o achos eich bod chwi [r] yn hwyr-drwm eich clustiau.

12 Canys lle dylech fod yn athrawon o ran amser, y mae arnoch drachefn eisiau dysgu i chwi beth *ydyw* egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw; ac yr ydych yn rhaid *i chwi* wrth [s] laeth, ac nid bwyd cryf.

13 Canys pob un a'r sy yn ymarfer â llaeth, *sydd* anghynnefin â gair cyfiawnder: canys [t] maban yw.

14 Eithr bwyd cryf a berthyn i'r rhai || perffaith, y rhai o herwydd cynnefindra y mae ganddynt synwyr wedi ymarfer i ddosparthu drwg a da.

a Pen. 8. 3. b Pen. 2. 17. c Pen. 2. 18. a 4. 15. † *gyd-ddwyn â'r rhai.* d Pen. 7. 28. e Lef. 9. 7. a 16. 6, 17. Pen. 7. 27. f 2 Chron. 26. 18. g Exod. 28. 1. 1 Chron. 23. 13. h Ioan 8. 54. i Pen. 1. 5. k Psal. 110. 4. Pen. 7. 17. l Psal. 22. 1. m Mat. 26. 39, 42, 44. a 27. 46, 50. Ioan 17. 1. n Mat. 26. 53. Marc 14. 36. ‡ *o achos ei dduwioldeb.* o Mat. 26. 37. Marc 14. 33. Luc 22. 43. Ioan 12. 27. p Phil. 2. 8. q Pen. 2. 10. § *achos.* r Mat. 13. 15. s 1 Cor. 3. 1, 2, 3. t 1 Cor. 14. 20. Eph. 4. 14. || *mewn oedran.*

## PEN. VI.

1 *Y mae efe yn eu cynghori hwy na chilient oddi wrth y ffydd;* 11 *ond bod yn ddïanwadal,* 12 *yn ddiwyd, ac yn ddïoddefgar, i ddisgwyl wrth Dduw,* 13 *am fod Duw yn sicr yn ei addewid.*

64. AM hynny, [a] gan roddi heibio yr † ymadrodd sydd yn dechreu rhai yng Nghrist, awn rhagom at berffeithrwydd; heb osod i lawr drachefn sail i edifeirwch oddi wrth [b] weithredoedd meirwon: ac i ffydd tu ag at Dduw,

2 I athrawiaeth bedyddiadau, ac arddodiad dwylaw, ac adgyfodiad y meirw, a'r farn dragywyddol.

3 A hyn a wnawn, [c] os caniattâ Duw.

4 Canys [d] ammhossibl *yw* i'r rhai a oleuwyd unwaith, ac a brofasant [e] y rhodd nefol, ac a wnaethpwyd yn gyfrannogion o'r Yspryd Glân,

5 Ac a brofasant ddaionus air Duw, a nerthoedd [f] y byd a ddaw,

6 Ac a syrthiasant ymaith, ym adnewyddu drachefn i edifeirwch; gan eu bod yn ail groes-hoelio iddynt eu hunain Fab Duw, ac yn ei ‡ osod yn watwor.

7 Canys y ddaear, yr hon sydd yn yfed y gwlaw sy yn mynych-ddyfod arni, ac yn dwyn llysiau cymmwys i'r rhai y llafurir hi § ganddynt, sydd yn derbyn bendith gan Dduw:

8 Eithr yr hon sydd yn dwyn drain a mïeri, *sydd* anghymmeradwy, ac agos i felldith; diwedd yr hon *yw*, ei llosgi.

9 Eithr yr ydym ni yn coelio am danoch chwi, anwylyd, bethau gwell, a *phethau* ynglŷn wrth iachawdwriaeth, er ein bod yn dywedyd fel hyn.

10 [g] Canys [h] nid *yw* Duw yn anghyfiawn, fel yr anghofio [i] eich gwaith, || a'r llafurus gariad, yr hwn a ddangosasoch tu ag at ei enw ef, y rhai a weiniasoch i'r saint, ac ydych yn gweini.

11 Ac yr ydym yn chwennych fod i [k] bob un o honoch ddangos yr un diwydrwydd, er mwyn llawn-sicrwydd gobaith hyd y diwedd:

12 Fel na byddoch fusgrell, eithr yn ddilynwŷr i'r rhai trwy ffydd ac amynedd sy yn etifeddu yr addewidion.

13 Canys Duw, wrth wneuthur addewid i Abraham, oblegid na allai dyngu i neb *oedd* fwy, [l] a dyngodd iddo ei hun,

14 Gan ddywedyd, Yn ddïau gan fendithio y'th fendithiaf, a chan amlhâu y'th amlhâf.

15 Ac felly, wedi iddo hir-ymaros, efe a gafodd yr addewid.

16 Canys dynion yn wir sydd yn tyngu i un a fo mwy: a [m] llw er sicrwydd, *sydd* derfyn iddynt ar bob ymryson.

17 Yn yr hyn Duw, yn ewyllysio yn helaethach ddangos i etifeddion yr addewid ddïanwadalwch ei gynghor, † a gyfryngodd trwy lw:

18 Fel trwy ddau beth dïanwadal, yn y rhai *yr oedd* yn ammhosibl i Dduw fod yn gelwyddog, y gallem ni gael cysur cryf, y rhai a ffoisom i gymmeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen:

19 Yr hwn sydd gennym ni megis angor yr enaid, yn ddïogel ac yn sicr, ac yn myned i mewn hyd at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llen,

20 [n] I'r man yr aeth y rhag-flaenor drosom ni, *sef* Iesu, [o] yr hwn a wnaethpwyd yn Arch-offeiriad yn dragywyddol yn ol urdd Melchisedec.

a Phil. 3. 13, 14. Pen. 5. 12. † *ymadrodd dechreuad Crist, neu, egwyddorion athrawiaeth Crist.* b Pen. 9. 14. c Act. 18. 21. d Mat. 12. 31, 32. Pen. 10. 26. 2 Petr 2. 21. 1 Ioan 5. 16. e Ioan 4. 10. f Pen. 2. 5. ‡ *ei wneuthur yn siampl.* § *iddynt.* g Diar. 14. 31. Mat. 10. 42. a 25. 40. Ioan 13. 20. h Rhuf. 3. 4. 2 Thess. 1. 6, 7. i 1 Thess. 1. 3. || *a llafur y cariad.* k Pen. 3. 6, 14. l Gen. 22. 16, 17. m Exod. 22. 11. † *a'i sicrhaodd.* n Pen. 9. 24. o Pen. 3. 1. a 7. 17.

## PEN. VII.

1 *Crist Iesu sydd Offeiriad yn ol urdd Melchisedec;* 11 *ac felly yn rhagori llawer ar yr offeiriaid oedd yn ol urdd Aaron.*

64. CANYS [a] y Melchisedec hwn, brenhin Salem, offeiriad y Duw Goruchaf, yr hwn a gyfarfu ag Abraham wrth ddychwelyd o ladd y brenhinoedd, ac a'i bendigodd ef;

a Gen. 14. 18, &c.

2 I'r hwn hefyd y cyfrannodd Abraham ddegwm o bob peth; yr hwn yn gyntaf, o'i gyfieithu, yw, Brenhin cyfiawnder, ac wedi hynny hefyd, Brenhin Salem, yr hyn yw, Brenhin heddwch;

† lin. 3 Heb dad, heb fam, heb † achau, heb fod iddo na dechreu dyddiau, na diwedd einioes; eithr wedi ei wneuthur yn gyffelyb i Fab Duw, sydd yn aros yn Offeiriad yn dragywydd.

b Gen. 14. 20. 4 Edrychwch faint oedd hwn, b i'r hwn hefyd y rhoddodd Abraham y patriarch ddegwm o'r anrhaith.

c Num. 18. 21, 26. 5 c A'r rhai yn wir sydd o feibion Lefi yn derbyn swydd yr offeiriadaeth, y mae ganddynt orchymyn i gymmeryd degwm gan y bobl yn ol y gyfraith, sef gan eu brodyr, er eu bod wedi dyfod o lwynau Abraham:

‡ lin. 6 Eithr yr hwn, nid oedd ei ‡ achau o honynt hwy, a gymmerodd ddegwm gan Abraham, ac a fendithiodd d yr hwn yr oedd yr addewidion iddo.

d Rhuf. 4. 13. Gal. 3. 16.

7 Ac yn ddiddadl, yr hwn sydd leiaf a fendithir gan ei well.

8 Ac yma y mae dynion y rhai sy yn meirw yn cymmeryd degymmau; eithr yno, yr hwn y tystiolaethwyd am dano ei fod ef yn fyw.

9 Ac (fel y dywedwyf felly) yn Abraham y talodd Lefi hefyd ddegwm, yr hwn oedd yn cymmeryd degymmau.

10 Oblegid yr ydoedd efe etto yn lwynau ei dad, pan gyfarfu Melchisedec ag ef.

e Gal. 2. 21. Adn. 18, 19. Pen. 8. 7. 11 e Os ydoedd gan hynny berffeithrwydd trwy offeiriadaeth Lefi (oblegid dan honno y rhoddwyd y gyfraith i'r bobl) pa raid oedd mwyach godi Offeiriad arall yn ol urdd Melchisedec, ac na's gelwid ef yn ol urdd Aaron?

12 Canys wedi newidio'r offeiriadaeth, anghenrhaid yw bod cyfnewid ar y gyfraith hefyd.

13 Oblegid am yr hwn y dywedir y pethau hyn, efe a berthyn i lwyth arall o'r hwn nid oedd neb yn gwasanaethu yr allor.

f Mat. 1. 3. Luc 3. 33. 14 Canys hyspys yw, mai o Juda y cododd f ein Harglwydd ni; am yr hwn lwyth ni ddywedodd Moses ddim tu ag at offeiriadaeth.

§ o herwydd bod. 15 Ac y mae yn eglurach o lawer etto; § od oes yn ol cyffelybrwydd Melchisedec Offeiriad arall yn codi,

16 Yr hwn a wnaed, nid yn ol cyfraith gorchymyn cnawdol, eithr yn ol nerth bywyd annherfynol.

g Psal. 110. 4. 17 Canys tystiolaethu y mae, g Offeiriad wyt ti yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec.

18 Canys yn ddiau y mae dirymmiad i'r gorchymyn sydd yn myned o'r blaen, o

h Gal. 4. 9. herwydd h ei lesgedd a'i afles.

i Act. 13. 39. Rhuf. 8. 3. Gal. 2. 16. 19 Oblegid i ni pherffeithiodd y gyfraith ddim, namyn dwyn gobaith gwell i mewn *a berffeithiodd*; trwy yr hwn k yr ydym yn nesâu at Dduw.

k Eph. 2. 18. a 3. 12. Pen. 4. 16. 20 Ac yn gymmaint nad heb lw *y gwnaethpwyd ef yn Offeiriad*:

21 (Canys y rhai hynny yn wir ydynt wedi eu gwneuthur yn offeiriaid heb lw: ond hwn trwy lw, gan yr hwn a ddywed-

l Psal. 110. 4. odd wrtho, l Tyngodd yr Arglwydd, ac ni bydd edifar ganddo, Ti *sydd* Offeiriad yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec:)

m Pen. 8. 6. a 9. 15. 22 Ar destament gwell o hynny m y gwnaethpwyd Iesu yn Feichniydd.

23 A'r rhai hynny yn wir, llawer sydd wedi eu gwneuthur yn offeiriaid, o herwydd lluddio iddynt gan farwolaeth barhau:

24 Ond hwn, am ei fod ef yn aros yn dragywydd, sydd ag offeiriadaeth ‖ dragywyddol ganddo. ‖ anllithredig.

25 Am hynny efe a ddichon hefyd † yn gwbl iachau y rhai trwyddo ef sy yn dyfod at Dduw, gan ei fod ef yn fyw bob amser n i eiriol drostynt hwy. † achub yn oestad.

n Rhuf. 8. 34. Pen. 9. 24. 1 Ioan 2. 1.

26 Canys y cyfryw Arch-offeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddi wrth bechaduriaid, ac wedi ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd, oedd weddus i ni;

27 Yr hwn nid yw raid iddo beunydd, megis i'r o offeiriaid hynny, offrymmu aberthau yn gyntaf dros ei bechodau ei hun, ac yna dros yr eiddo'r bobl: canys p hynny a wnaeth efe unwaith, pan offrymmodd efe ef ei hun.

o Lef. 9. 7. a 16. 6. Pen. 5. 3. p Pen. 9. 12, 28. a 10. 12.

28 Canys y gyfraith sydd yn gwneuthur q dynion a gwendid ynddynt, yn arch-offeiriaid; eithr gair y llw, yr hwn a fu wedi y gyfraith, *sydd yn gwneuthur* y Mab, r yr hwn a berffeithiwyd yn dragywydd.

q Pen. 5. 1, 2. r Pen. 2. 10. a 5. 9.

## PEN. VIII.

1 *Offeiriadaeth Aaron a ddiflannodd, pan ddaeth Crist yr Offeiriad tragywyddol. 7 a'r ammod a wnaed â'r tadau dros amser, a roddes le i gyfammod tragywyddol yr efengyl.*

A † Phen ar y pethau a ddywedwyd *yw hyn*: Y mae gennym y fath Arch-offeiriad, a yr hwn a eisteddodd ar ddeheulaw gorsedd-fainge y Mawredd yn y nefoedd;

† Swm y pethau a ddywedwyd yw hyn.

2 Yn Weinidog b y ‡ cyssegr, a'r c gwir dabernacl, yr hwn a osododd yr Arglwydd, ac nid dyn.

a Pen. 1. 3. a 10. 12. a 12. 2. b Pen. 9. 8, 12, 24. ‡ pethau sanctaidd. c Pen. 9. 11.

3 Canys d pob arch-offeiriad a osodir i offrymmu rhoddion ac aberthau: o herwydd paham e rhaid *oedd* bod gan hwn hefyd yr hyn a offrymmai.

d Pen. 5. 1. e Eph. 5. 2.

4 Canys yn wir pe bai efe ar y ddaear, ni byddai yn offeiriad chwaith; § gan fod offeiriaid y rhai sydd yn offrymmu rhoddion yn ol y ddeddf:

5 Y rhai sy yn gwasanaethu i ‖ siampl a f chysgod y pethau nefol, megis y rhybuddiwyd Moses gan Dduw, pan oedd efe ar fedr gorphen y † babell. g Canys, Gwel (medd efe) ar wneuthur o honot bob peth yn ol y portreiad a ddangoswyd i ti yn y mynydd.

§ Gr. fyd lun. ‖ bortreiad. f Col. 2. 17. Pen. 10. 1. † tabernacl. g Exod. 25. 40. Act. 7. 44.

6 Ond yn awr h efe a gafodd weinidogaeth mwy rhagorol, o gymmaint ag y mae yn Gyfryngwr ‡ cyfammod gwell, yr hwn sydd wedi ei osod ar addewidion gwell.

h 2 Cor. 3. 6. Pen. 7. 22. ‡ Neu, testament.

7 Oblegid yn wir pe buasai y cyntaf hwnnw yn ddifeius, ni chaisiasid lle i'r ail.

8 Canys yn beio arnynt hwy y dywaid efe, i Wele, y mae y dyddiau yn dyfod (medd yr Arglwydd) ac mi a wnaf â thŷ Israel ac â thŷ Juda gyfammod newydd:

i Jer. 31. 31—34.

9 Nid fel y cyfammod a wnaethum â'u tadau hwynt, yn y dydd yr ymaflais yn eu llaw hwynt i'w dwyn hwy o dir yr Aipht; oblegid ni thrigasant hwy yn fy nghyfammod i, minnau a'u hesgeulusais hwythau, medd yr Arglwydd.

10 Oblegid hwn yw y cyfammod a ammodaf fi â thŷ Israel ar ol y dyddiau hynny, medd yr Arglwydd; Myfi a § ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac ‖ yn eu calonnau yr ysgrifenaf hwynt: a k mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minnau yn bobl.

§ roddaf ‖ Neu, ar. k Zech. 8. 8.

11 Ac l ni ddysgant bob un ei † gymmydog, a phob un ei frawd, gan ddywedyd, Adnebydd yr Arglwydd: oblegid hwynthwy oll a'm hadnabyddant i, o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt.

l Ioan 6. 45. 1 Ioan 2. 27. † Gr. ddinesydd.

12 Canys trugarog fyddaf wrth eu hanghyfiawnderau, a'u pechodau hwynt a'u hanwireddau ni chofiaf ddim o honynt mwyach.

13 Wrth ddywedyd, *Cyfammod* newydd, efe a farnodd y cyntaf yn hen. Eithr yr hwn a aeth yn hen ac yn oedrannus, *sydd* agos i ddiflannu.

## PEN. IX.

1 *Y mae yn dangos dull seremoniau ac aberthau gwaedlyd y gyfraith;* 11 *a'u bod yn llai eu teilyngdod a'u perffeithrwydd nag aberth Crist a'i waed.*

64. AM hynny yn wir yr ydoedd hefyd i'r tabernacl cyntaf † ddefodau gwasanaeth Duw, a chyssegr bydol.

2 Canys yr oedd tabernacl wedi ei wneuthur; [a] y cyntaf, [b] yn yr hwn *yr oedd* y canhwyllbren, a'r bwrdd, a'r [c] bara gosod; yr hwn *dabernacl* a elwid, Y ‡ cyssegr.

3 Ac yn ol yr ail len, *yr oedd* y babell, yr hon a elwid, Y cyssegr sancteiddiolaf;

4 Yr hwn yr oedd y thuser aur ynddo, ac [d] arch y cyfammod wedi ei goreuro o amgylch; yn yr hon *yr oedd* [e] y crochan aur a'r manna ynddo, [f] a gwïalen Aaron yr hon a flagurasai, a [g] llechau y cyfammod;

5 Ac [h] uwch ei phen cherubiaid y gogoniant, yn cysgodi y drugareddfa: am y rhai ni ellir yn awr ddywedyd bob yn rhan.

6 A'r pethau hyn wedi eu trefnu felly, [i] i'r tabernacl cyntaf yn ddïau yr ai bob amser yr offeiriaid, y rhai oedd yn cyflawni gwasanaeth *Duw:*

7 Ac i'r ail [k] unwaith bob blwyddyn *yr ai* yr arch-offeiriad yn unig; nid heb waed, yr hwn a offrymmai efe drosto ei hun, a *thros* anwybodaeth y bobl.

8 [l] A'r Yspryd Glân yn hyspysu hyn, [m] nad oedd y ffordd i'r cyssegr sancteiddiolaf yn agored etto, tra fyddai y tabernacl cyntaf yn sefyll:

9 Yr hwn *ydoedd* gyffelybiaeth dros yr amser presennol, yn yr hwn yr offrymmid rhoddion ac aberthau, [n] y rhai ni allent o ran cydwybod berffeithio yr addolydd,

10 *Y rhai oedd yn sefyll* yn unig ar [o] fwydydd, a diodydd, ac [p] amryw olchiadau, a § defodau cnawdol, wedi eu gosod *arnynt* hyd amser y diwygiad.

11 Eithr Crist, wedi dyfod [q] yn Arch-offeiriad y daionus bethau a fyddent, trwy dabernacl mwy a pherffeithiach, nid o waith llaw, hynny yw, nid o'r adeiladaeth yma,

12 Nid chwaith trwy waed geifr a lloi, eithr [r] trwy ei waed ei hun, a aeth [s] unwaith i mewn i'r cyssegr, gan gael *i ni* dragywyddol ryddhâd.

13 Oblegid os ydyw [t] gwaed teirw a geifr, a [u] lludw anner wedi ei daenellu ar y rhai a halogwyd, yn sancteiddio i bureiddiad y cnawd;

14 Pa faint mwy y bydd i [x] waed Crist, yr hwn trwy yr Yspryd tragywyddol a'i hoffrymmodd ei hun yn ddi-fai i Dduw, [y] buro eich cydwybod chwi oddi wrth [z] weithredoedd meirwon, [a] i wasanaethu y Duw byw?

15 Ac am hynny [b] y mae efe yn Gyfryngwr y cyfammod newydd, [c] megis trwy fod marwolaeth yn ymwared oddi wrth y troseddau oedd dan y cyfammod cyntaf, y cai y rhai a alwyd dderbyn addewid yr etifeddiaeth dragywyddol.

16 Oblegid lle *byddo* testament, rhaid *yw* digwyddo marwolaeth y testamentwr.

17 Canys [d] wedi marw dynion, *y mae* testament mewn grym: oblegid nid oes etto nerth ynddo tra fyddo y testamentwr yn fyw.

18 O ba achos ni ‖ chyssegrwyd y cyntaf heb waed.

19 Canys wedi i Moses adrodd yr holl orchymyn yn ol y gyfraith wrth yr holl bobl, [e] efe a gymmerodd waed lloi a geifr, gyd â dwfr, a gwlan porphor, ac isop, ac a'i taenellodd ar y llyfr a'r bobl oll,

20 Gan ddywedyd, [f] Hwn yw gwaed y testament a orchymynodd Duw i chwi.

21 [g] Y tabernacl hefyd a holl lestri y gwasanaeth a daenellodd efe â gwaed yr un modd.

22 A chan mwyaf trwy waed y purir pob peth wrth y gyfraith; ac [h] heb ollwng gwaed nid oes maddeuant.

23 Rhaid *oedd* gan hynny i bortreiadau y pethau sy yn y nefoedd gael eu puro â'r pethau hyn; a'r pethau nefol eu hunain ag aberthau gwell nâ'r rhai hyn.

24 Canys [i] nid i'r cyssegr o waith llaw, portreiad [k] y gwir *gyssegr*, yr aeth Crist i mewn; ond i'r nef ei hun, [l] i ymddangos yn awr ger bron Duw trosom ni:

25 Nac fel yr offrymmai efe ei hun yn fynych, megis [m] y mae yr arch-offeiriaid yn myned i mewn i'r cyssegr bob blwyddyn, â gwaed arall:

26 (Oblegid yna rhaid fuasai iddo yn fynych ddïoddef er dechreuad y byd) eithr yr awrhon [n] unwaith [o] yn niwedd y byd yr ymddangosodd efe, i ddilëu pechod trwy ei aberthu ei hun.

27 Ac megis y gosodwyd i ddynion farw unwaith, ac wedi hynny *bod* barn:

28 Felly [p] Crist hefyd, [q] wedi ei offrymmu unwaith i ddwyn ymaith bechodau [r] llawer, a ymddengys yr ail waith, heb bechod, i'r rhai sy yn ei ddisgwyl, er iachawdwriaeth.

## PEN. X.

1 *Gwendid aberthau y gyfraith.* 10 *Aberth corph Crist a offrymmwyd unwaith,* 14 *sydd byth yn tynnu ymaith bechodau.* 19 *Cyngor i lynu yn lew yn y ffydd trwy amynedd a diolch.*

OBLEGID y gyfraith, yr hon sydd ganddi [a] gysgod daionus bethau i ddyfod, *ac* nid gwir-ddelw y pethau, [b] ni's gall trwy yr aberthau hynny, y rhai y maent bob blwyddyn yn eu hoffrymmu yn wastadol, byth berffeithio y rhai a ddêl atti. 64.

2 Oblegid yna hwy a beidiasant â'u hoffrymmu, am na buasai gydwybod pechod mwy gan y rhai a addolasent, wedi eu glanhâu unwaith.

3 Eithr yn *yr aberthau* hynny *y mae* adgoffa pechodau bob blwyddyn.

4 Canys [c] ammhosibl *yw* i waed teirw a geifr dynnu ymaith bechodau.

5 O herwydd paham y mae efe, wrth ddyfod i'r byd, yn dywedyd, [d] Aberth ac offrwm ni's mynnaist, eithr corph a † gymhwysaist i mi.

6 Offrymmau poeth, a thros bechod, ni buost foddlon iddynt.

7 Yna y dywedais, Wele fi yn dyfod (y mae yn ysgrifenedig yn nechreu'r llyfr am danaf) i wneuthur dy ewyllys di, O Dduw.

8 Wedi iddo ddywedyd uchod, Aberth ac offrwm, ac offrymmau poeth, a thros bechod, ni's mynnaist, ac nid ymfoddlonaist *ynddynt* (y rhai yn ol y gyfraith a offrymmir)

9 Yna y dywedodd, Wele fi yn dyfod i wneuthur dy ewyllys di, O Dduw. Y mae yn tynnu ymaith y cyntaf, fel y gosodai yr ail.

*Margin notes (Pen. IX):* † seremoniau. [a] Exod. 40. [b] Exod. 26. 35. [c] Exod. 25. 30. ‡ Neu, *sanctaidd.* [d] Exod. 25. 10. a 26. 33. [e] Exod. 16. 33, 34. [f] Num. 17. 10. [g] Exod. 25. 21. Deut. 10. 2, 5. 1 Bren. 8. 9. 2 Chron. 5. 10. [h] Exod. 25. 18, 22. [i] Num. 28. 3. [k] Exod. 30. 10. Lef. 2. 15, 34. Adn. 25. [l] Pen. 10. 19, 20. [m] Ioan 14. 6. [n] Pen. 7. 18. a 10. 1. [o] Lef. 11. 2. [p] Num. 19. 2, &c. § *seremoniau.* [q] Pen. 3. 1. [r] Act. 20. 28. Eph. 1. 7. 1 Petr 1. 19. Dat. 1. 5. [s] a 5. 9. Zech. 3. 9. Adn. 26, 28. [t] Lef. 16. 14, 16. [u] Num. 19. 2, 17, &c. [x] 1 Petr 1. 19. 1 Ioan 1. 7. Dat. 1. 5. [y] Pen. 10. 22. [z] Pen. 6. 1. [a] Luc 1. 74. 1 Petr 4. 2. [b] Pen. 7. 22. a 8. 6. [c] Rhuf. 5. 16. 1 Petr 3. 18. [d] Gal. 3. 15. ‖ *phurwyd.* [e] Exod. 24. 5. 6. Lef. 16. 14, 15, 18. [f] Exod. 24. 8. Mat. 26. 28. [g] Exod. 29. 12, 30. Lef. 8. 15. a 16. 14, 16. [h] Lef. 17. 11. [i] Pen. 6. 20. [k] Pen. 8. 2. [l] Rhuf. 8. 34. Pen. 7. 25. [m] Adn. 7. [n] Adn. 12. 1 Petr 3. 18. [o] 1 Cor. 10. 11. Eph. 1. 10. [p] Rhuf. 6. 10. 1 Petr 3. 18. [q] 1 Petr 2. 24. [r] Mat. 26. 28. Rhuf. 5. 15. 1 Ioan 3. 5.

*Margin notes (Pen. X):* [a] Col. 2. 17. Pen. 8. 5. a 9. 23. [b] Pen. 9. 9. [c] Pen. 9. 13. [d] Psal. 40. 6, &c. Esay 1. 11. Jer. 6. 20. Amos 5. 21. † *ddarparaist.*

10 Trwy yr hwn ewyllys yr ydym ni wedi ein sancteiddio, trwy offrymmiad corph Iesu Grist unwaith.

11 Ac y mae pob offeiriad yn sefyll beunydd yn gwasanaethu, ac yn offrymmu yn fynych yr un aberthau, y rhai ni allant fyth ddileu pechodau:

12 [f] Eithr hwn, wedi offrymmu un aberth dros † bechodau, yn dragywydd a eisteddodd ar ddeheulaw Duw;

13 O hyn allan yn disgwyl [g] hyd oni osoder ei elynion ef yn droed-faingc i'w draed ef.

14 Canys ag un offrwm y perffeithiodd efe yn dragywyddol y rhai sy wedi eu sancteiddio.

15 *Ac* y mae yr Yspryd Glân hefyd yn tystiolaethu i ni: canys wedi iddo ddywedyd o'r blaen,

16 [a] Dyma'r cyfammod yr hwn a ammodaf fi â hwynt ar ol y dyddiau hynny, medd yr Arglwydd; Myfi a osodaf fy nghyfreithiau yn eu calonnau, ac a'u hysgrifenaf yn eu meddyliau;

17 ‡ A'u pechodau a'u hanwireddau ni chofiaf mwyach.

18 A lle *y mae* maddeuant am y rhai hyn, nid *oes* mwyach offrwm dros bechod.

19 Am hynny, frodyr, gan fod i ni § ryddid i fyned i mewn i'r [k] cyssegr trwy waed Iesu,

20 Ar hyd ffordd newydd a bywiol, yr hon a ‖ gyssegrodd efe i ni, trwy'r llen, sef ei gnawd ef;

21 A *bod i ni* [l] Offeiriad mawr ar dŷ Dduw;

22 Nesâwn â chalon gywir, [m] mewn llawn hyder ffydd, [n] wedi † glanhâu ein calonnau oddi wrth gydwybod ddrwg, a [o] golchi ein corph â dwfr glân.

23 [p] Daliwn gyffes ein gobaith yn ddisigl (canys [q] ffyddlon *yw'r* hwn a addawodd)

24 A chyd-ystyriwn bawb ein gilydd, i ymannog i gariad a gweithredoedd da:

25 Heb ‡ esgeuluso ein cyd-gynnulliad ein hunain, megis *y mae* arfer rhai: ond annog *bawb ein gilydd*: a [r] hynny yn fwy, o gymmaint a'ch bod yn gweled [s] y dydd yn nesâu.

26 Canys [t] os o'n gwirfodd y pechwn, [u] ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach;

27 Eithr rhyw ddisgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac [x] an-gerdd tân, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr.

28 [y] Yr un a ddirmygai gyfraith Moses, a fyddai farw heb drugaredd, dan ddau neu dri o dystion:

29 Pa faint § mwy cospedigaeth (dybygwch chwi) y bernir haeddu o'r hwn a sathrodd Fab Duw, ac [z] a farnodd yn aflan waed y cyfammod, trwy'r hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Yspryd y gras?

30 Canys nyni a adwaenom y neb a ddywedodd, ‖ Myfi *biau* dial, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd. A thrachefn, [a] Yr Arglwydd a farna ei bobl.

31 Peth ofnadwy *yw* syrthio yn nwylaw y Duw byw.

32 Ond [b] gelwch i'ch cof y dyddiau o'r blaen, yn y rhai, wedi eich goleuo, y dioddefasoch [c] ymdrech mawr o helbulon:

33 Wedi eich gwneuthur weithiau yn wawd, trwy waradwyddiadau a chystuddiau; ac weithiau [d] yn bod yn gyfrannogion â'r rhai a drinid felly.

34 Canys chwi a gyd-ddioddefasoch â'm rhwymau i hefyd, ac [e] a gymmerasoch eich yspeilio am y pethau oedd gennych yn llawen; gan † wybod [f] fod gennych i chwi eich hunain olud gwell yn y nefoedd, ac un parhâus.

35 Am hynny na fwriwch ymaith eich hyder, [g] yr hon sydd iddi fawr wobr.

36 Canys rhaid i chwi wrth ammynedd; fel, wedi i chwi wneuthur ewyllys Duw, y derbynioch yr addewid.

37 Oblegid [h] ychydig bachigyn etto, [i] a'r hwn sydd yn dyfod a ddaw, ac nid oeda.

38 [k] A'r cyfiawn a fydd byw trwy ffydd: eithr o thynn *neb* yn ol, nid yw fy enaid yn ymfoddloni ynddo.

39 Eithr nid ydym ni o'r rhai sy yn tynnu yn ol i golledigaeth; namyn o ffydd, i gadwedigaeth yr enaid.

## PEN. XI.

1 *Beth ydyw ffydd.* 6 *Heb ffydd ni allwn ni ryngu bodd Duw:* 7 *ei ffrwythau rhagorol hi yn yr hen dadau gynt.*

FFYDD yn wir yw † sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd [a] y pethau nid ydys yn eu gweled.

2 Oblegid [b] trwyddi hi y cafodd yr henuriaid air da.

3 Wrth ffydd yr ydym yn deall [c] wneuthur y bydoedd trwy air Duw, yn gymmaint nad o bethau gweledig y gwnaed y pethau a welir.

4 Trwy ffydd [d] yr offrymmodd Abel i Dduw aberth rhagorach na Chain; trwy'r hon y cafodd efe dystiolaeth ei fod yn gyfiawn, gan i Dduw ddwyn tystiolaeth i'w roddion ef: a thrwyddi hi y mae efe, wedi marw, [e] ‡ yn llefaru etto.

5 Trwy ffydd [f] y symmudwyd Enoch, fel na welai farwolaeth; ac ni chaed ef, am ddarfod i Dduw ei symmud ef: canys cyn ei symmud, efe a gawsai dystiolaeth, ddarfod iddo ryngu bodd Duw.

6 Eithr heb ffydd ammhosibl *yw* rhyngu *ei* fodd *ef*. Oblegid rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw, gredu ei fod ef, a'i fod yn obrwywr i'r rhai sy yn ei geisio ef.

7 Trwy ffydd, [g] Noë, wedi ei rybuddio gan Dduw am y pethau ni's gwelsid etto, gyd â pharchedig ofn, [h] a ddarparodd arch i achub ei dŷ: trwy'r hon y condemniodd *efe* y byd, ac a wnaethpwyd yn etifedd [i] y cyfiawnder sydd o ffydd.

8 Trwy ffydd, [k] Abraham, pan ei galwyd, a ufuddhaodd, § gan fyned i'r man yr oedd efe i'w dderbyn yn etifeddiaeth; ac a aeth allan, heb wybod i ba le yr oedd yn myned.

9 Trwy ffydd yr ymdeithiodd efe yn nhir yr addewid, megis *mewn* tir dieithr, gan drigo mewn lluestai gyd ag Isaac a Jacob, cyd-etifeddion o'r un addewid.

10 Canys disgwyl yr ydoedd am [l] ddinas ag iddi sylfeini, [m] saer ac adeiladydd yr hon *yw* Duw.

11 Trwy ffydd [n] Sara hithau yn ammhlantadwy, a dderbyniodd nerth i ymddŵyn had; ac wedi amser oedran, [o] a esgorodd; oblegid ffyddlon y barnodd hi yr hwn a addawsai.

12 O herwydd paham hefyd y cenhedlwyd o un, a [p] hwnnw yn gystal a marw, [q] *cynnifer* a ser y nef mewn lliaws, ac megis y tywod ar lan y môr, *y sydd* yn aneirif.

13 ‖ Mewn ffydd y bu farw y rhai hyn oll, heb dderbyn yr addewidion, eithr [r] o bell eu gweled hwynt, a chredu, a chyfarch, a [s] chyfaddef mai dieithriaid a phererinion oeddynt ar y ddaear.

14 Canys y mae y rhai sy yn dywedyd y

cyfryw bethau, yn dangos yn eglur eu bod
yn ceisio gwlad.
15 Ac yn wir, pe buasent yn meddwl am
*y wlad* honno, o'r hon y daethent allan, hwy
a allasent gael amser i ddychwelyd:
16 Eithr yn awr *gwlad* well y maent hwy
yn ei chwennych, hynny ydyw, *un* nefol. O
achos paham nid cywilydd gan Dduw [t] ei
alw yn Dduw iddynt hwy: oblegid efe a
barottôdd ddinas iddynt.
17 Trwy ffydd [u] yr offrymmodd Abra-
ham Isaac, pan ei profwyd: a'i unig-anedig
*fab* a offrymmodd *efe*, yr hwn a dderbyn-
iasai yr addewidion:
18 † Wrth yr hwn y dywedasid, [x] Yn
Isaac y gelwir i ti had:
19 Gan gyfrif bod Duw yn abl i'*w* gyfodi
*ef* o feirw; o ba le y cawsai efe ef hefyd
mewn cyffelybiaeth.
20 Trwy ffydd [y] y bendithiodd Isaac Ja-
cob ac Esau am bethau a fyddent.
21 Trwy ffydd, Jacob, wrth farw, [z] a fen-
dithiodd bob un o feibion Joseph; ac [a] a
addolodd *â'i bwys* ar ben ei ffon.
22 Trwy ffydd, [b] Joseph, wrth farw, a
‡ goffaodd am ymadawiad plant Israel; ac
a roddodd orchymyn am ei esgyrn.
23 Trwy ffydd, [c] Moses, pan anwyd, a
guddiwyd drimis gan ei rïeni, o achos eu
bod yn *ei* weled yn fachgen tlws: ac nid
ofnasant [d] orchymyn y brenhin.
24 Trwy ffydd [e] Moses wedi myned yn
fawr, a wrthododd ei alw yn fab merch Pha-
raoh;
25 [f] Gan ddewis yn hytrach oddef adfyd
gyd â phobl Dduw, na chael mwyniant
pechod dros amser;
26 Gan farnu yn fwy golud [g] ddirmyg
§ Crist, nâ thrysorau yr Aipht: canys ed-
rych yr oedd efe ar daledigaeth y gobrwy.
27 Trwy ffydd [h] y gadawodd efe yr Aipht,
heb ofni llid y brenhin: canys efe a ym-
wrolodd fel *un* [i] yn gweled yr anweledig.
28 Trwy ffydd [k] y gwnaeth efe y pasg, a
gollyngiad y gwaed, rhag i'r hwn ydoedd yn
dinystrio y rhai cyntaf-anedig gyffwrdd â
hwynt.
29 Trwy ffydd [l] yr aethant trwy'r môr
coch, megis ar hŷd *tir* sych: yr hyn pan
brofodd yr Aiphtiaid, boddi a wnaethant.
30 Trwy ffydd [m] y syrthiodd caerau Jeri-
cho, wedi eu hamgylchu dros saith niwrnod.
31 Trwy ffydd [n] ni ddifethwyd Rahab y
buttain gyd â'r rhai ‖ ni chredent, pan
[o] dderbyniodd hi yr yspïwŷr yn heddychol.
32 A pheth mwy a ddywedaf? canys yr
amser a ballai i mi i fynegi am [p] Gedeon,
*am* [q] Barac, ac *am* [r] Samson, ac *am* [s] Jeph-
thae; *am* [t] Ddafydd hefyd, a [u] Samuel, a'r
prophwydi:
33 Y rhai trwy ffydd a oresgynasant deyr-
nasoedd, a wnaethant gyfiawnder, a gawsant
addewidion, [x] a gauasant safnau llewod,
34 [y] A ddiffoddasant an-gerdd y tân, [z] a
ddïangasant rhag min y cleddyf, [a] a nerth-
wyd o wendid, a wnaethpwyd yn gryfion
mewn rhyfel, a yrrasant fyddinoedd yr es-
troniaid i gilio.
35 [b] Gwragedd a dderbyniodd eu meirw
trwy adgyfodiad: ac [c] eraill a ddirdynnwyd,
heb dderbyn ymwared; fel y gallent hwy
gael adgyfodiad gwell.
36 Ac eraill a gawsant brofedigaeth trwy
watwar, a ffan-gellau, ïe, [d] trwy rwymau
hefyd a charchar.

[t] Exod. 3. 6. Mat. 22. 32. Act. 7. 32. [u] Gen. 22. 1, 9. † *Am.* [x] Gen. 21. 12. Rhuf. 9. 7. [y] Gen. 27. 27, 39. [z] Gen. 48. 5, 16, 20. [a] Gen. 47. 31. [b] Gen. 50. 24, 25. ‡ *gofiodd.* [c] Exod. 2. 2. Act. 7. 20. [c] Exod. 1. 16, 22. [e] Exod. 2. 10, 11. [f] Psal. 84. 10. [g] Pen. 13. 13. § *er Crist.* [h] Exod. 10. 28, 29. a 13. 17, 18. [i] Adn. 13. [k] Exod. 12. 21, &c. [l] Exod. 14. 22. [m] Jos. 6. 20. [n] Jos. 6. 23. Iago 2. 25. ‖ *anufudd.* [o] Jos. 2. 1. [p] Barn. 6. 11. [q] Barn. 4. 6. [r] Barn. 13. 24. [s] Barn. 11. 1. a 12. 7. [t] 1 Sam. 16. 13. a 17. 45. [u] 1 Sam. 1. 20. a 12. 20. [x] Barn. 14. 5. 1 Sam. 17. 34. Dan. 6. 22. [y] Dan. 3. 25. [z] 1 Sam. 20. 1. 1 Bren. 19. 3. 2 Bren. 6. 16. [a] 2 Bren. 20. 7. Job 42. 10. Psal. 6. 8. [b] 1 Bren. 17. 22. 2 Bren. 4. 35.

[c] 2 Mac. 6. 19, 28. a 7. 7, &c. Act. 22. 27. [d] Jer. 20. 2.

37 [e] Hwynt-hwy a labyddiwyd, a dor-
rwyd â llif, a demtiwyd, a laddwyd yn feirw
â'r cleddyf: [f] a grwydrasant mewn crwyn
defaid, a chrwyn geifr; yn ddiddym, yn gy-
studdiol, yn ddrwg eu cyflwr;
38 (Y rhai nid oedd y byd yn deilwng o hon-
ynt) yn crwydro mewn anialwch, a myny-
ddoedd, a thyllau ac ogofeydd y ddaear.
39 A'r rhai hyn oll, [g] wedi cael tystiolaeth
trwy ffydd, ni dderbyniasant yr addewid:
40 Gan fod Duw yn rhag-weled [h] rhyw *beth*
gwell am danom ni, fel na pherffeithid hwynt
hebom ninnau.

PEN. XII.

1 *Cyngor i ffydd ddïanwadal, amynedd, a*
*duwioldeb.* 22 *Canmol y testament newydd*
*rhagor yr hen.*

OBLEGID hynny ninnau hefyd, gan fod 64.
cymmaint cwmmwl o dystion wedi ei
osod o'n hamgylch, [a] gan roi heibio bob
pwys, a'r pechod sydd barod i'*n* hamgylchu,
[b] trwy amynedd [c] rhedwn yr yrfa a osod-
wyd o'n blaen ni;
2 Gan edrych ar Iesu, Pen-tywysog a
Pherffeithydd *ein* ffydd *ni*; [d] yr hwn, yn lle
y llawenydd a osodwyd iddo, a ddïoddef-
odd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd,
ac [e] a eisteddodd ar ddeheulaw gorsedd-
faingc Duw.
3 Ystyriwch am hynny yr hwn a ddï-
oddefodd gyfryw ddywedyd yn ei erbyn
gan bechaduriaid; fel na flinoch, ac nad
ymollyngoch yn eich eneidiau.
4 [f] Ni wrthwynebasoch etto hyd at waed,
gan ymdrech yn erbyn pechod.
5 A chwi a ollyngasoch dros gof y cyng-
or, yr hwn sydd yn dywedyd wrthych me-
gis wrth blant, [g] Fy mab, na ddirmyga ge-
rydd yr Arglwydd, ac nac ymollwng pan
y'th argyoedder ganddo.
6 Canys [h] y neb y mae yr Arglwydd yn
ei garu, y mae yn ei geryddu; ac yn ffan-
gellu pob mab a dderbynio.
7 Os goddefwch gerydd, y mae Duw yn
ymddwyn tu ag attoch megis tu ag at feib-
ion: canys pa fab sydd, yr hwn nid yw ei
dad yn ei geryddu?
8 Eithr os heb gerydd yr ydych, [i] o'r hon
y mae pawb yn gyfrannog; yna bastardi-
aid ydych, ac nid meibion.
9 Heb law hynny, ni a gawsom dadau
ein cnawd i'n ceryddu, ac a'*u* parchasom
*hwy:* onid mwy o lawer y byddwn ddaros-
tyngedig i [k] Dad yr ysprydoedd, a byw?
10 Canys hwynt-hwy yn wir dros ychydig
ddyddiau a'*n* ceryddent fel y gwelent hwy
yn dda; eithr hwn er llesâd i ni, fel y byd-
dem gyfrannogion o'i sancteiddrwydd ef.
11 Etto ni welir un cerydd dros yr amser
presennol yn hyfryd, eithr yn anhyfryd:
ond gwedi hynny y mae yn rhoi [l] heddy-
chol ffrwyth cyfiawnder i'r rhai sy wedi eu
cynnefino ag ef.
12 O herwydd paham [m] cyfodwch i fynu
y dwylaw a laesasant, a'r gliniau a ymollyng-
asant.
13 A gwnewch lwybrau † uniawn i'ch
traed; fel na throër y cloff allan o'r ffordd,
ond yr iachaer efe yn hytrach.
14 [n] Dilynwch heddwch â phawb, a sanct-
eiddrwydd, [o] heb yr hwn ni chaiff neb we-
led yr Arglwydd:
15 [p] Gan edrych yn ddyfal na *bo* neb yn
‡ pallu oddi wrth ras Duw; [q] rhag bod un
gwreiddyn chwerwedd yn tyfu i fynu, *ac* yn
peri blinder, a thrwy hwnnw llygru llawer;

[e] 1 Bren. 21. 13. [f] 2. Bren. 1. 8. Mat. 3. 4. [g] Adn. 2. [h] Pen. 7. 22. a 8. 6. [a] 1 Petr 2. 1, 2. [b] Rhuf. 12. 12. Pen. 10. 36. [c] 1 Cor. 9. 24. [d] Luc 24. 26. Phil. 2. 8, &c. [e] Psal. 110. 1. Pen. 1. 3, 13. a 8. 1. [f] Pen. 10. 33, 34. [g] Job 5. 17. Diar. 3. 11. [h] Dat 3. 19. [i] Psal. 73. 15. 1 Petr 5. 9. [k] Num. 16. 22. a 27. 16. Preg. 12. 7. Esay 57. 16. Zech. 12. 1. [l] Iago 3. 18. [m] Job 4. 3, 4. Esay 35. 3. Eccl. 25. 23. † *gwastad.* [n] Rhuf. 12. 18. 2 Tim. 2. 22. [o] Mat. 5. 8. [p] 2 Cor. 6. 1. ‡ *cwympo.* [q] Deut. 29. 18. Pen. 3, 12.

[r] Eph. 5. 3. 16 [r] Na *bo* un puttein-wr, neu halogedig,
Col. 3. 5. megis Esau, [s] yr hwn am un saig o fwyd a
[s] Gen. 25. 33. werthodd ei enedigaeth-fraint.
17 Canys chwi a wyddoch ddarfod wedi
[t] Gen. 27. 30, 38. hynny hefyd ei wrthod ef, [t] pan oedd efe yn
ewyllysio etifeddu y fendith: oblegid ni
† *fordd i newid ei feddwl.* chafodd efe † le i edifeirwch, er iddo trwy
ddagrau ei thaer-geisio hi.
[u] Exod. 19. 18 Canys ni ddaethoch chwi at [u] y my-
12, 16, 19. nydd teimladwy sydd yn llosgi gan dân, a
chwmmwl, a thywyllwch, a thymmestl,
19 A sain udgorn, a llef geiriau; yr hon
[x] Exod. 20. pwy bynnag a'i clywsant, a [x] ddeisyfiasant
19. na chwanegid yr ymadrodd wrthynt.
Deut. 5. 5, 25. a 18. 16. 20 (Oblegid ni allent hwy oddef yr hyn a
[y] Exod. 19. orchymynasid; [y] Ac os bwystfil a gyffyrddai
13. â'r mynydd, efe a labyddir, neu a wenir â
phicell.
21 Ac mor ofnadwy oedd y golwg, *ag y*
dywedodd Moses, Yr ydwyf yn ofni ac yn
crynu)
[z] Gal. 4. 26. 22 Eithr chwi a ddaethoch [z] i fynydd
Dat. 3. 12. Sion, ac i ddinas y Duw byw, y Jerusalem
a 21. 2, 10. nefol, ac at fyrddiwn o angylion,
23 I gymmanfa a chynnulleidfa y rhai
[a] Luc 10. cyntaf-anedig, [a] y rhai a 'sgrifenwyd yn y
20. nefoedd, ac at Dduw, Barnwr pawb, *ac* at
Phil. 4. 3. ysprydoedd y cyfiawn y rhai a berffeith-
iwyd,
[b] Pen. 8. 6. 24 Ac at Iesu, [b] Cyfryngwr y ‡ testament
a 9. 15. newydd, a [c] gwaed y taenelliad, yr hwn
‡ *cyfammod.* sydd yn dywedyd pethau gwell [d] nâ'r *eiddo*
[c] Exod. 24. Abel.
8. 25 Edrychwch na wrthodoch yr hwn sydd
1 Petr 1. 2. yn llefaru. Oblegid [e] oni ddïangodd y rhai
Pen. 10. 22. a wrthodasant yr hwn oedd yn llefaru ar y
[d] Gen. 4. ddaear, mwy o lawer *ni's diangwn* ni, y rhai
10. ydym yn troi ymaith oddi wrth yr hwn sydd
Pen. 11. 4. *yn llefaru* o'r nef:
[e] Pen. 2. 2. 26 [f] Llef yr hwn y pryd hwnnw a ysgyd-
a 3. 17. a 10. 28. wodd y ddaear: ac yn awr a addawodd,
[f] Exod. 19. gan ddywedyd, [g] Etto unwaith yr wyf yn
18. cynhyrfu nid yn unig y ddaear, ond y nef
[g] Hag. 2. 6. hefyd.
[h] Psal. 102. 27 A'r Etto unwaith hynny, sydd yn hys-
26. pysu [h] symmudiad y pethau a § ysgydwir,
Mat. 24. 35. megis pethau wedi eu gwneuthur, fel yr ar-
2 Petr 3. 10. hoso y pethau nid ysgydwir.
Dat. 21. 1. 28 O herwydd paham, gan ein bod ni yn
§ *Neu, a ddichon eu hysgwyd.* derbyn teyrnas ddisigl, bydded gennym ras,
trwy'r hwn y gwasanaethom Dduw wrth ei
[i] Deut. 4. fodd, gyd â gwylder a pharchedig ofn.
24 a 9. 3. 29 Oblegid [i] ein Duw ni *sydd* dân ysol.

## PEN. XIII.

1 *Amryw gynghorion; megis i garu ein gilydd: 4 i fyw yn onest: 5 i ochelyd cybydd-dra: 7 i berchi pregethwyr Duw: 9 i ochel athrawon dieithr: 10 i gyfaddef Crist: 16 i roi elusen: 17 i ufuddhâu i swyddogion: 18 i weddio dros yr apostol. 20 Y diwedd.*

64.
[a] Rhuf. 12. PARHAED [a] brawdgarwch.
10. 2 [b] Nac anghofiwch lettengarwch: ca-
1 Petr 1. 22. nys wrth hynny [c] y llettyodd rhai angylion
a 2. 17. a 4. 8. yn ddiarwybod.
[b] Rhuf. 12. 3 [d] Cofiwch y rhai sy yn rhwym, fel pet-
13. tech yn rhwym gyd â hwynt: y rhai cy-
1 Petr 4. 9. studdiol, megis yn bod eich hunain hefyd
[c] Gen. 18. yn y corph.
3. a 19. 2. 4 Anrhydeddus *yw* prïodas ym mhawb,
[d] Mat. 25. 36. a'r gwely dihalogedig: eithr puttein-wŷr a
Rhuf. 12. godinebwŷr a farna Duw.
15. 5 *Bydded eich* ymarweddiad yn ddïarian-
1 Cor. 12. 26. gar; [e] gan fod yn foddlon i'r hyn sydd gen-

nych. Canys efe a ddywedodd, [f] Ni'th [f] Deut. 31.
roddaf di i fynu, ac ni'th lwyr-adawaf 6, 8.
chwaith. Jos. 1. 5.
6 Fel y gallom ddywedyd yn hŷ, [g] Yr 1 Chron. 28. 20.
Arglwydd *sydd* gymmorth i mi, ac nid ofn- [g] Psal. 55. 
af beth a wnel dyn i mi. 6, 11, 12. a 118. 6.
7 [h] Meddyliwch am eich † blaenoriaid, y [h] Adn. 17.
rhai a draethasant i chwi air Duw: ffydd y † *llywodraethwŷr.*
rhai dilynwch, gan ystyried diwedd eu hy-
marweddiad hwynt. [i] Ioan 8. 58.
8 Iesu Grist, ddoe a heddyw [i] yr un, ac Pen. 1. 12.
yn dragywydd. Dat. 1. 4.
9 [k] Na'ch arweinier oddi amgylch ag [k] Eph. 4.
athrawiaethau amryw a dieithr: canys da 14. a 5. 6.
yw bod y galon wedi ei chryfhâu â gras, 1 Ioan 4. 1.
[l] nid â bwydydd, yn y rhai ni chafodd y [l] Rhuf. 14. 17.
sawl a rodiasant ynddynt, fudd. Col. 2. 16
10 Y mae gennym ni allor, o'r hon nid 1 Tim. 4. 3.
oes awdurdod i'r rhai sy yn gwasanaethu y [m] Exod. 29. 14.
tabernacl i fwytta. Lef. 4. 11,
11 Canys [m] cyrph yr anifeiliaid hynny, y 12, 21. a 6. 30. a 16. 27.
rhai y dygir eu gwaed gan yr arch-offeiriad Num. 19. 3.
i'r cyssegr dros bechod, a losgir y tu allan [n] Ioan 19.
i'r gwersyll. 17, 18.
12 O herwydd paham Iesu hefyd, fel y Act. 7. 58.
sancteiddiai y bobl trwy ei waed ei hun, [n] a [o] Pen. 11. 26.
ddïoddefodd y tu allan i'r porth.
13 Am hynny awn atto ef o'r tu allan i'r [p] Michah 2. 10.
gwersyll, gan ddwyn [o] ei waradwydd ef. Phil. 3. 20.
14 [p] Canys nid oes i ni yma ddinas bar- Pen. 11. 10, 16.
hâus, eithr un i ddyfod yr ŷm ni yn ei dis-
gwyl. [q] Eph. 5. 20.
15 [q] Trwyddo ef gan hynny offrymmwn 1 Petr 2. 5.
[r] aberth moliant yn wastadol i Dduw, yr [r] Lef. 7. 12.
hyn yw [s] ffrwyth *ein* gwefusau, yn ‡ cyffesu Psal. 50. 14, 23. a 69. 30, 31. a 107. 22.
i'w enw ef.
16 Ond gwneuthur daioni, a chyfrannu, [s] Hos. 14. 2.
nac anghofiwch: canys [t] â chyfryw ebyrth ‡ *clodfori ef.*
y rhyngir bodd Duw.
17 [u] Ufuddhêwch i'ch § blaenoriaid, ac [t] Phil. 4. 18.
ymddarostyngwch: oblegid [x] y maent hwy [u] Phil. 2.
yn gwylio dros eich eneidiau chwi, megis 29.
rhai a fydd rhaid iddynt roddi cyfrif: fel 1 Thess. 5. 12.
y gallont wneuthur hynny yn llawen, ac 1 Tim. 5. 17
nid yn drist: canys difudd i chwi *yw* Adn. 7.
hynny. § *llywodraethwŷr.*
18 Gweddiwch drosom ni: canys yr
ydym yn credu fod gennym gydwybod [x] Ezec. 3.
dda, gan ewyllysio byw yn ‖ onest ym 17. a 33. 2, 7.
mhob peth. ‖ *dda.*
19 Ond yr ydwyf [y] yn helaethach yn dy- [y] Philem.
muno gwneuthur o honoch hyn, i gael fy 22.
rhoddi i chwi drachefn yn gynt. [z] Act. 2. 24
20 A Duw'r heddwch, [z] yr hwn a ddug [a] Esay 40.
drachefn oddi wrth y meirw ein Harglwydd 11.
Iesu, [a] Bugail mawr y defaid, [b] trwy waed y Ezec. 34. 23.
† cyfammod tragywyddol, Ioan 10. 11.
21 [c] A'ch perffeithio ym mhob gweith- 1 Petr 2. 25. a 5. 4.
red dda, i wneuthur ei ewyllys ef; gan
‡ weithio ynoch yr hyn sydd gymmerad- [b] Zech. 9. 11.
wy yn ei olwg ef, trwy Iesu Grist: i'r † *Neu, testament.*
hwn *y byddo* y gogoniant yn oes oesoedd.
Amen. [c] Phil. 2. 13.
22 Ac yr ydwyf yn attolwg i chwi, frodyr,
goddefwch air y cynghor: oblegid ar fyr ei- 1 Petr 5. 10.
riau [d] yr § ysgrifenais attoch.
23 Gwybyddwch ollwng *ein* brawd Ti- ‡ *ancuthau.*
motheus yn rhydd; gyd â'r hwn, os daw [d] 1 Petr 5.
efe ar fyrder, yr ymwelaf â chwi. 12.
24 Anerchwch eich holl ‖ flaenoriaid, a'r § *anfonais.*
holl saint. Y mae y rhai o'r Ital yn eich an- ‖ *lywodraethwŷr.*
nerch.
25 Gras *fyddo* gyd â chwi oll. Amen.

¶ At yr Hebreaid yr ysgrifenwyd o'r
Ital, gyd â Thimotheus.

[e] Mat. 6. 25, 34. Phil. 4. 11, 12. 1 Tim 6. 6, 8.

# ¶ Epistol cyffredinol IAGO yr Apostol.

## PEN. I.

*2 Cyngor i lawenychu mewn blinder: 5 i ofyn doethineb gan Dduw: 13 na furier y bai arno ef o ran ein gwendid na'n pechodau ni: 22 i wrando ac i fyfyrio ar air Duw; ac i wneuthur ar ei ol: 26 os amgen, fe all rhai ymddangos yn grefyddol oddi allan, ond ni allant fod felly mewn gwirionedd.*

Bl. yr IAGO, gwasanaethwr Duw a'r Arglwydd
Argl. Iesu Grist, at y deuddeg llwyth a sydd ar
cylch wasgar, annerch.
60. 2 b Cyfrifwch yn bob llawenydd, fy mro-
a Deut. 32. 26. dyr, pan syrthioch mewn amryw brofedi-
Ioan 7. 35. gaethau;
Act. 8. 1. 3 c Gan wybod, fod profiad eich ffydd
1 Petr 1. 1. chwi yn gweithredu amynedd.
b Mat. 5. 12. 4 Ond caffed amynedd ei pherffaith waith;
Act. 5. 41. fel y byddoch berffaith a chyfan, heb ddi-
Heb. 10. 34. ffygio mewn dim.
c Rhuf. 5. 3. 5 d O bydd ar neb o honoch eisiau doeth-
1 Petr 1. 6. ineb, e gofyned gan Dduw, yr hwn sydd
d Diar. 2. 3. yn rhoi yn † haelionus i bawb, ac heb
e Mat. 7. 7. ddannod; a f hi a roddir iddo ef.
a 21. 22. 6 Eithr gofyned mewn ffydd, heb ammeu
Marc 11. 24. dim: canys yr hwn sydd yn ammeu, sydd
Luc 11. 9. gyffelyb i don y môr, a chwelir ac a deflir
Ioan 14. 13. a 15. 7. a 16. 26. gan y gwynt.
7 Canys na feddylied y dyn hwnnw y
† rhwydd. derbyn efe ddim gan yr Arglwydd.
f Ier. 29. 12. 8 Gwr dau-ddyblyg ei feddwl *sydd* an-
1 Ioan 5. 14. wastad yn ei holl ffyrdd.
9 Y brawd o radd isel, ‡ llawenyched yn
‡ ymffrostied. ei oruchafiaeth:
10 A'r cyfoethog, yn ei ddarostyngiad:
g Job 14. 2. canys g megis blodeuyn y glas-welltyn y
Psal. 103. 15. diflanna efe.
Esay 40. 6. 11 Canys cyfododd yr haul gyd â gwres,
1 Cor. 7. 31. a gwywodd y glas-welltyn, a'i flodeuyn a
1 Petr 1. 24. gwympodd, a thegwch ei bryd ef a gollodd:
1 Ioan 2. 17. felly hefyd y diflanna y cyfoethog yn ei
ffyrdd.
12 h Gwyn ei fyd y gwr sydd yn goddef
h Job 5. 17. profedigaeth: canys pan fyddo profedig,
Diar. 3. 11, 12. efe a dderbyn i goron y bywyd, k yr hon
Heb. 12. 5. a addawodd yr Arglwydd i'r rhai a'i carant
Dat. 3. 19. ef.
i 1 Cor. 9. 25. 13 Na ddyweded neb pan demtier ef,
Pen. 2. 5. Gan Dduw y'm temtir. Canys Duw ni's
1 Petr 5. 4. gellir ei demtio â § drygau, ac nid yw efe
Dat. 2. 10. yn temtio neb.
k Mat. 10. 14 Canys yna y temtir pob un, pan y
22. a 19. 28, 29. tynner ef, ac y llithier, gan ei chwant ei
§ drwg. hun.
15 Yna chwant, wedi ymddwyn, a esgor
ar bechod: pechod hefyd, pan orphener, a
esgor ar farwolaeth.
16 Fy mrodyr anwyl, na chyfeiliornwch.
l Ioan 3. 27. 17 l Pob rhoddiad daionus, a phob rhodd
1 Cor. 4. 7. berffaith, oddi uchod y mae, yn disgyn
m Mal. 3. 6. oddi wrth Dad y goleuni, m gyd â'r hwn
nid oes gyfnewidiad, na chysgod troëdig-
n Ioan 1. aeth.
13. a 3. 3. 18 n O'i wir ewyllys yr ynnillodd efe
1 Cor. 4. 15. nyni trwy air y gwirionedd, fel y byddem
1 Petr 1. 23. ryw o flaen-ffrwyth o'i greaduriaid ef.
19 O achos hyn, fy mrodyr anwyl, p bydd-
o Ier. 2. 3. ed pob dyn esgud i wrando, q diog i lefaru,
Dat. 14. 4. r diog i ddigofaint.
p Preg. 5. 1. 20 Canys digofaint gwr nid yw yn cyf-
lawni cyfiawnder Duw.
q Diar. 17. 27. 21 O herwydd paham s rhoddwch heibio
r Preg. 7. 9. bob budreddi, a helaethrwydd malais; a
s Col. 3. 8. thrwy addfwynder derbyniwch yr impiedig
1 Petr 2. 1. air, yr hwn a ddichon gadw eich eneidiau.

22 A t byddwch wneuthurwyr y gair, ac t Mat. 7. 21.
nid gwrandawyr yn unig, gan eich twyllo Luc 11. 28.
eich hunain. Rhuf. 2. 13.
23 Oblegid u os yw neb yn wrandawr u Luc 6.
y gair, ac heb fod yn wneuthurwr, y mae 47, &c.
hwn yn debyg i wr yn edrych ei wyneb- Edrych Pen. 2. 14,
pryd naturiol mewn drych: &c.
24 Canys efe a'i hedrychodd ei hun, ac
a aeth ymaith, ac yn y man efe a anghof-
iodd pa fath ydoedd.
25 Eithr x yr hwn a edrych ar berffaith x 2 Cor. 3.
y gyfraith rhyddid, ac a barhao *ynddi,* 18.
hwn, heb fod yn wrandawr anghofus, ond y Pen. 2.
gwneuthurwr y weithred, z *efe* a fydd 12.
dedwydd yn ei ‖ weithred. z Ioan 13. 17.
26 Os yw neb yn eich mysg yn cymmeryd ‖ *weithrediad.*
arno fod yn grefyddol, heb † a attal ei
dafod, ond twyllo ei galon ei hun, ofer *yw* † *ffrwyno.*
crefydd hwn. a Psal. 34.
27 Crefydd bur, a dihalogedig ger bron 13. a 39. 1.
Duw a'r Tad, yw hyn; Ymweled â'r amddif- 1 Petr 3. 10.
aid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd,
a'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddi wrth
y byd.

## PEN. II.

*1 Nad gweddol i'r Cristianogion ddiystyru eu brodyr tlodion: 13 ond bod yn gariadus, ac yn drugarogion. 14 Na ddylid ymffrostio o ffydd lle ni byddo gweithredoedd da: 17 nad yw'r ffydd honno ond ffydd farw, 19 a ffydd y cythreuliaid; 21 ac nid ffydd Abraham, 25 a Rahab.*

FY mrodyr, na fydded gennych ffydd ein Cylch
Harglwydd ni Iesu Grist, *sef Arglwydd* 60.
y gogoniant, gyd â a derbyn wyneb. a Lef. 19. 15.
2 Oblegid os daw i mewn i'ch † cynnull- Deut. 1. 17
eidfa chwi wr â modrwy aur, mewn dillad a 16. 19.
gwychion, a dyfod hefyd *un* tlawd mewn Diar. 24. 23.
dillad gwael; Mat. 22. 16.
3 Ac edrych o honoch ar yr hwn sydd yn Adn. 9.
gwisgo y dillad gwychion, a dywedyd wrtho, † *synagog.*
Eistedd di yma ‡ mewn lle da; a dywedyd ‡ *yn dda.*
wrth y tlawd, Saf di yna, neu eistedd yma
is law fy 'stol-droed i:
4 Onid ydych chwi dueddol ynoch eich
hunain? ac *onid* aethoch yn farnwyr me-
ddyliau drwg?
5 Gwrandewch, fy mrodyr anwyl; b Oni b Ioan 7. 48.
ddewisodd Duw dlodion y byd hwn c yn 1 Cor. 1.
gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion 26, 28.
y deyrnas d yr hon a addawodd efe i'r rhai c Luc 12.
sydd yn ei garu ef? 21.
6 Eithr e chwithau a ammharchasoch y 1 Tim. 6. 18.
tlawd. Onid yw y cyfoethogion yn eich Dat. 2. 9.
gorthrymmu chwi, ac yn eich tynnu ger d Exod. 20. 6.
bron brawdleoedd? 1 Sam. 2.
7 Onid ydynt hwy yn cablu yr enw rhag- 30.
orol, yr hwn a elwir arnoch chwi? Diar. 8. 17.
8 Os cyflawni yr ydych y gyfraith frenhin- Mat. 5. 3.
ol yn ol yr ysgrythyr, f Câr dy gymmydog Pen. 1. 12.
fel ti dy hun; da yr ydych yn gwneuthur: e 1 Cor. 11. 22.
9 Eithr g os derbyn wyneb yr ydych, yr f Lef. 19.
ydych yn gwneuthur pechod, ac yn cael 18.
eich argyoeddi gan y gyfraith megis tros- Mat. 22. 39.
eddwyr. g Adn. 1.
10 Canys pwy bynnag a gadwo 'r gyfraith h Deut. 27. 26.
i gyd oll, ac a ballo mewn un *pwngc,* h y Mat. 5. 19.
mae efe yn euog o'r cwbl. Gal. 3. 10.
11 Canys y § neb a ddywedodd, i Na § *Neu, gyfraith.*
odinebu; a ddywedodd hefyd, Na ladd. Ac
os ti ni odinebi, etto a leddi, yr wyt ti yn i Exod. 20.
troseddu y gyfraith. 13, 14.
12 Felly dywedwch, ac felly gwnewch, k Pen. 1.
megis rhai a fernir wrth k gyfraith rhyddid. 25.

13 Canys [l] barn ddidrugaredd fydd i'r
hwn ni wnaeth drugaredd; ac [m] y mae tru-
garedd yn gorfoleddu yn erbyn barn.
14 [n] Pa fudd *yw*, fy mrodyr, o dywaid
neb fod ganddo ffydd, ac heb fod ganddo
weithredoedd? a ddichon ffydd ei gadw ef?
15 Eithr [o] os bydd brawd neu chwaer
yn noeth, ac mewn eisiau beunyddiol ym-
borth;
16 A [p] dywedyd o un o honoch wrthynt,
Ewch mewn heddwch, ymdwymmwch, ac
ymddigonwch; etto heb roddi iddynt ang-
enrheidiau 'r corph; pa les *fydd* i?
17 Felly ffydd hefyd, oni bydd gan-
ddi weithredoedd, marw ydyw, *a hi* † yn
unig.
18 Eithr rhyw un a ddywaid, Tydi ffydd
sydd genyt, minnau gweithredoedd sydd
gennyf: dangos i mi dy ffydd di ‡ heb dy
weithredoedd, a minnau wrth fy ngweith-
redoedd i a ddangosaf i ti fy ffydd innau.
19 Credu yr wyt ti mai un Duw sydd;
da yr wyt ti yn gwneuthur. [q] Y mae
y cythreuliaid hefyd yn credu, ac yn
crynu.
20 Eithr a fynni di wybod, O ddyn ofer,
am ffydd heb weithredoedd, mai marw yw?
21 Abraham ein tad ni, onid o weithred-
oedd y cyfiawnhawyd ef, [r] pan offrymmodd
efe Isaac ei fab ar yr allor?
22 § Ti a weli [s] fod ffydd yn cyd-weithio
â'i weithredoedd ef, a thrwy weithredoedd
fod ffydd wedi ei pherffeithio.
23 A chyflawnwyd yr ysgrythyr yr hon
sydd yn dywedyd, [t] Credodd Abraham i
Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder: a
[u] Chyfaill Duw y galwyd ef.
24 Chwi a welwch gan hynny mai o weith-
redoedd y cyfiawnheir dyn, ac nid o ffydd
yn unig.
25 Yr un ffunud hefyd, [x] Rahab y but-
tain, onid o weithredoedd y cyfiawnhawyd
hi, pan dderbyniodd hi y cenhadau, a'u dan-
fon ymaith ffordd arall?
26 Canys megis y mae'r corph heb yr
‖ yspryd yn farw, felly hefyd ffydd heb
weithredoedd, marw yw.

[l] Mat. 6. 15. a 18. 35. a 25. 41, 42. [m] 1 Ioan 4. 17, 18. [n] Mat. 7. 26. Pen. 1. 23. [o] Edrych Luc 3. 11. [p] 1 Ioan 3. 18. † Gr. wrth ei hun. ‡ Neu, wrth. [q] Marc 1. 24. [r] Gen. 22. 9, 12. § Neu, a weli, &c. [s] Heb. 11. 17. [t] Gen. 15. 6. Rhuf. 4. 3. Gal. 3. 6. [u] 2 Chron. 20. 7. Esay 41. 8. [x] Jos. 2. 1. Heb. 11. 31. ‖ anadl.

## PEN. III.

*1 Na ddylem ni fod yn brysur i feio ar eraill; 5 ond yn hytrach ffrwyno y tafod; yr hwn, er nad ydyw ond aelod bychan, etto y mae efe yn achos llawer o ddaioni, ac o ddrygioni. 13 Y rhai sydd wir-synhwyrol, y maent yn fwynion, yn heddychlon, heb gynfigennu, ac heb ymryson.*

Cylch 60.

[a] NA fyddwch feistraid lawer, fy mrod-
yr; [b] gan wybod y derbyniwn ni
farnedigaeth fwy.
2 Canys [c] mewn llawer o bethau yr ydym
ni bawb yn llithro. [d] Od oes neb heb lithro
ar air, [e] gwr perffaith *yw* hwnnw, yn gallu
ffrwyno 'r holl gorph hefyd.
3 Wele, [f] yr ydym ni yn rhoddi ffrwynau
ym mhennau 'r meirch, i'w gwneuthur yn
ufudd i ni: ac yr ydym yn troi eu holl gorph
hwy oddi amgylch.
4 Wele, y llongau hefyd, er eu maint, ac
er eu gyrru gan wyntoedd crehlon, a droir
oddi amgylch â llyw bychan, lle y mynno'r
llywydd.
5 Felly hefyd [g] y tafod, aelod bychan
yw, ac [h] yn ffrostio pethau mawrion. Wele,
faint o ddefnydd y mae ychydig dân yn ei
ennyn!

[a] Mat. 23. 8. Rhuf. 2. 20, 21. [b] Luc 6. 37. [c] 1 Bren. 8. 46. 2 Chron. 6. 36. Diar. 20. 9. Preg. 7. 20. 1 Ioan 1. 8. [d] Psal. 34. 13. Eccl. 14. 1. a 19. 16. a 25. 8. [e] Pen. 1. 26. [e] Mat. 12. 37. [f] Psal. 32. 9.

6 A'r tafod tân *ydyw*, byd o anghyfiawn-
der. Felly y mae'r tafod wedi ei osod ym
mhlith ein haelodau ni, fel [i] y mae yn ha-
logi'r holl gorph, ac yn gosod † troell na-
turiaeth yn fflam; ac wedi ei wneuthur yn
fflam gan uffern.
7 Canys ‡ holl natur gwyllt-filod, ac adar,
ac ymlusgiaid, a'r pethau yn y môr, a ddofir
ac a ddofwyd gan § natur ddynol:
8 Eithr y tafod ni ddichon un dyn ei ddofi;
drwg anllywodraethus *ydyw*, yn llawn gwen-
wyn marwol.
9 Ag ef yr ydym yn bendithio Duw a'r
Tad; ag ef hefyd yr ydym yn melldithio
dynion, [k] a wnaethpwyd ar lun Duw.
10 O'r un genau y mae yn dyfod allan
fendith a melldith. Fy mrodyr, ni ddylai
y pethau hyn fod felly.
11 A ydyw ffynnon o'r un ‖ llygad yn
rhoi *dwfr* melus a chwerw?
12 A ddichon y pren ffigys, fy mrodyr,
ddwyn olifaid? neu win-wydden, ffigys?
felly ni *ddichon* un ffynnon roddi dwfr hallt
a chroyw.
13 Pwy *sydd* wr doeth, a † deallus yn
eich plith? dangosed, trwy ymarweddiad
da, ei weithredoedd mewn mwyneidd-dra
doethineb.
14 Eithr od oes gennych [l] gynfigen chwerw
ac ymryson yn eich calon, [m] na fyddwch
ffrostwyr a chelwyddog yn erbyn y gwir-
ionedd.
15 Nid yw y doethineb hwn yn disgyn
oddi uchod; ond daearol, [n] anianol, cyth-
reulig *yw*.
16 Canys [o] lle *mae* cynfigen ac ymryson,
yno *y mae* ‡ terfysg, a phob gweithred ddrwg.
17 Eithr [p] y doethineb sydd oddi uchod,
yn gyntaf pur ydyw, wedi hynny heddych-
lon, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn
trugaredd a ffrwythau da, § diduedd, a di-
ragrith.
18 A [q] ffrwyth cyfiawnder a heuir mewn
heddwch i'r rhai sy'n gwneuthur heddwch.

[i] Mat. 15. 18, 19. Marc 7. 15, 20, 23. † Neu, rhod. ‡ Gr. pob rhyw o wyllt-filod. § Gr. dynol ryw. [k] Gen. 1. 26. ‖ Neu, lle. † chyfarwydd. [l] Rhuf. 13. 13. [m] Rhuf. 2. 17, 23. [n] Judas 19. [o] 1 Cor. 3. 3. Gal. 5. 20. ‡ anrhefn. [p] 1 Cor. 2. 6, 7. § diddadl-eugar. [q] Diar. 11. 18. Hos. 10. 12. Heb. 12. 11.

## PEN. IV.

*1 Rhaid i ni ymryson yn erbyn trachwant, 4 ac angnymmedrolder, 5 a balchder, 11 ac enllib, a barnu ar eraill; 13 ac na roddom ormod hyder ar lwyddiant bydol, nac ar einioes dyn; ond rhoi y cwbl ar Dduw.*

Cylch 60.

OBa le *y mae* rhyfeloedd ac † ymladdau
yn eich plith chwi? onid oddi wrth
hyn, *sef* eich melus-chwantau [a] y rhai sydd
yn rhyfela yn eich aelodau?
2 Chwennychu yr ydych, ac nid ydych
yn cael: ‡ cynfigennu yr ydych ac eiddig-
eddu, ac nid ydych yn gallu cyrhaeddyd:
ymladd a rhyfela yr ydych, ond nid ydych
yn cael, am nad ydych yn gofyn.
3 [b] Gofyn yr ydych, ac nid ydych yn
derbyn, o [c] herwydd eich bod yn gofyn ar
gam, fel y galloch eu treulio ar eich melys-
chwantau.
4 [d] Chwi odinebwyr, a godineb-wragedd,
oni wyddoch chwi fod [e] cyfeillach y byd yn
elyniaeth i Dduw? [f] pwy bynnag gan hyn-
ny a ewyllysio fod yn gyfaill i'r byd, y mae
yn elyn i Dduw.
5 A ydych chwi yn tybied fod yr ysgry-
thyr yn dywedyd yn ofer, [g] At § gynfi-
gen y mae chwant yr yspryd a gartrefa yn-
om ni?

† ymgynhennau. [a] Rhuf. 7. 23. Gal. 5. 17. 1 Petr 2. 11. ‡ lladd. [b] Job 27. 9. a 35. 12. Psal 18. 41. Esay 1. 15. Jer. 11. 11. Zech. 7. 13. [c] Psal. 66. 18. 1 Ioan 3. 22. a 5. 14. [d] Psal. 73. 27. [e] 1 Ioan 2. 15. [f] Ioan 15. 19. a 17. 14. Gal. 1. 10. [g] Edrych Gen. 6. 5. a 8. 21. Num. 11. 29. Diar. 21. 10. § fwythau.

[g] Diar. 12. 18. a 15. 2. [h] Psal. 12. 3. a 73. 8, 9.

6 Eithr rhoddi gras mwy y mae: o her-
wydd paham y mae yn dywedyd, [g] Y mae
Duw yn gwrthwynebu 'r beilchion, ond yn
rhoddi gras i'r *rhai* gostyngedig.
7 Ymddarostyngwch gan hynny i Dduw.
[h] Gwrthwynebwch ddiafol, ac efe a ffŷ oddi
wrthych.
8 [i] Nesêwch at Dduw, ac efe a nesâ at-
toch chwi. [k] Glanhêwch *eich* dwylaw, chwi
bechaduriaid; a phurwch *eich* calonnau,
chwi [l] â'r meddwl dau-ddyblyg.
9 [m] Ymofidiwch, a galerwch, ac wylwch:
troër eich chwerthin chwi yn alar, a'*ch* llaw-
enydd yn dristwch.
10 [n] Ymddarostyngwch ger bron yr Ar-
glwydd, ac efe a'ch dyrchafa chwi.
11 Na ddywedwch yn erbyn eich gilydd,
frodyr. Y neb sydd yn dywedyd yn erbyn
*ei* frawd, ac [o] yn barnu *ei* frawd, y mae efe
yn dywedyd yn erbyn y gyfraith, ac yn
barnu 'r gyfraith: ac od wyt ti yn barnu 'r
gyfraith, nid wyt ti wneuthurwr y gyfraith,
eithr barnwr.
12 Un gosodwr cyfraith sydd, yr hwn a
ddichon gadw a cholli. [p] Pwy wyt ti yr hwn
wyt yn barnu arall?
13 [q] † Iddo yn awr, y rhai ydych yn dy-
wedyd, Heddyw neu y foru ni a awn i gy-
fryw ddinas, ac a arhoswn yno flwyddyn, ac
a farchnattâwn, ac a ynnillwn;
14 Y rhai ni wyddoch beth *a fydd* y
foru. Canys beth *ydyw* eich einioes chwi?
[r] Canys tarth ydyw, yr hwn sydd dros ych-
ydig yn ymddangos, ac wedi hynny yn di-
flannu.
15 Lle *y dylech* ddywedyd, [s] Os yr Ar-
glwydd a'i myn, ‡ *ac os* byddwn byw, ni a
wnawn hyn, neu hynny.
16 Eithr yn awr gorfoleddu yr ydych yn
eich ymffrost. [t] Pob cyfryw orfoledd, drwg
ydyw.
17 Am hynny [u] i'r neb a fedr wneuthur
daioni, ac nid yw yn ei wneuthur, pechod
ydyw iddo.

[g] Psal. 138. 6. Diar. 3. 34. 1 Petr 5. 5.
[h] Eph. 4. 27. 1 Petr 5. 9.
[i] 2 Chron. 15. 2.
[k] Esay 1. 16.
[l] Pen. 1. 8.
[m] Mat. 5. 4.
[n] Luc 14. 11. a 18. 14. 1 Petr 5. 6.
[o] Mat. 7. 1. Luc 6. 37. Rhuf. 2. 1. 1 Cor. 4. 5.
[p] Rhuf. 14. 4.
[q] Diar. 27. 1. Luc 12. 18.
† *Felly.*
[r] Job 7. 7. Psal. 102. 3. Edrych Pen. 1. 10.
[s] Act. 18. 21. 1 Cor. 4. 19.
‡ *byddwn fyw, ac a wnawn.*
[t] 1 Cor. 5. 6.
[u] Luc 12. 47. Ioan 9. 41. a 15. 22. Rhuf. 1. 20, 21, 32. a 2. 17, 18, 23.

## PEN. V.

1 *Rhaid i wŷr cyfoethogion drygionus ofni dïaledd Duw.* 7 *Ni a ddylem fod yn ddïoddefgar mewn adfyd, yn ol esampl y prophwydi, a Job;* 12 *a gochelyd tyngu;* 13 *a gweddïo mewn adfyd, a chanu mewn hawddfyd;* 16 *a chyfaddef ein beiau i'n gilydd, a gweddïo dros ein gilydd;* 19 *a dwyn i'r iawn y brawd a fyddo yn myned ar gyfeiliorn.*

Cylch 60.
† [a] IDDO yn awr, chwi gyfoethogion,
wylwch ac udwch am eich trueni
sydd yn dyfod arnoch.
2 Eich cyfoeth a bydrodd, [b] a'ch gwisg-
oedd a fwyttawyd gan bryfed.
3 Eich aur a'ch arian a rydodd; a'u
rhwd hwynt a fydd yn dystiolaeth ‡ yn
eich erbyn chwi, ac a fwytty eich cnawd
chwi fel tân. [c] Chwi a gasglasoch drysor
yn y dyddiau diweddaf.
4 Wele, [d] y mae cyflog y gweithwyr, a
fedasant eich meusydd chwi, yr hwn a gam-
attaliwyd gennych, yn llefain: a [e] llefain y
rhai a fedasant a ddaeth i mewn i glustiau
Arglwydd y lluoedd.
5 [f] Moethus fuoch ar y ddaear, a thry-
thyll; meithrin eich calonnau a wnaethoch,
megis mewn dydd lladdedigaeth.
6 Condemniasoch *a* lladdasoch y cyfiawn;
*ac* yntau heb sefyll i'ch erbyn.
7 Byddwch gan hynny yn § ymarhous,
frodyr, hyd ddyfodiad yr Arglwydd. Wele,
y mae y llafurwr yn disgwyl am werthfawr
ffrwyth y ddaear, yn dda ei amynedd am
dano, nes iddo dderbyn [g] y gwlaw cynnar
a'r diweddar.
8 Byddwch chwithau hefyd dda eich
amynedd; cadarnhewch eich calonnau:
oblegyd dyfodiad yr Arglwydd a nesaodd.
9 Na ‖ rwgnachwch yn erbyn eich gi-
lydd, frodyr, fel na'ch condemnier: wele, y
mae y Barnwr [h] yn sefyll wrth y drws.
10 Cymmerwch, fy mrodyr, y proph-
wydi, y rhai a lefarasant yn enw 'r Ar-
glwydd, yn siampl o ddïoddef blinder, ac o
hir-ymaros.
11 Wele, [i] dedwydd yr ydym yn † gad-
ael y rhai sy ddïoddefus. Chwi a glywsoch
am [k] amynedd Job, ac a welsoch [l] ddiwedd
yr Arglwydd: oblegid [m] tosturiol iawn
yw 'r Arglwydd, a thrugarog.
12 Eithr o flaen pob peth, fy mrodyr, [n] na
thyngwch, nac i'r nef, nac i'r ddaear, nac
un llw arall: eithr bydded eich ïe chwi yn
ïe, a'*ch* nagê yn nagê; fel na syrthioch i
farnedigaeth.
13 A oes neb yn eich plith mewn adfyd?
gweddïed. A oes neb yn esmwyth arno?
[o] caned Psalmau.
14 A oes neb yn eich plith yn glaf? galw-
ed atto henuriaid yr eglwys; a gweddïant
hwy ‡ drosto, [p] gan ei enneinio ef ag olew
yn enw 'r Arglwydd:
15 A gweddi 'r ffydd a iachâ 'r claf, a'r
Arglwydd a'i cyfyd ef i fynu; ac os bydd
wedi gwneuthur pechodau, hwy a faddeuir
iddo.
16 Cyffeswch *eich* camweddau bawb i'ch
gilydd, a gweddïwch dros eich gilydd, fel
y'ch iachaer. [q] Llawer a ddichon taerweddi
y cyfiawn.
17 Elias oedd ddyn [r] yn rhaid iddo ddïo-
ddef fel ninnau, ac [s] mewn gweddi efe a we-
ddïodd na byddai wlaw: ac ni bu gwlaw ar
y ddaear dair blynedd a chwe mis.
18 Ac efe [t] a weddïodd drachefn; a'r nef
a roddes wlaw, a'r ddaear a ddug ei ffrwyth.
19 *Fy* mrodyr, [u] od aeth neb o honoch ar
gyfeiliorn oddi wrth y gwirionedd, a throi o
ryw un ef;
20 Gwybydded, y bydd i'r hwn a drodd
bechadur oddi wrth gyfeiliorni ei ffordd,
[x] gadw enaid rhag angau, a [y] chuddio lliaws
o bechodau.

† *Felly.*
[a] Diar. 11. 28. Luc 6. 24. 1 Tim. 6. 9.
[b] Mat. 6. 20.
‡ *i chwi.*
[c] Rhuf. 2. 5.
[d] Lef. 19. 13. Mal. 3. 5. Eccl. 34. 21, 22.
[e] Deut. 24. 15.
[f] Luc 16. 19, 25. 1 Tim. 5. 6.
§ *hir-amyneddgar.*
[g] Deut. 11. 14. Zech. 10. 1.
‖ *roddwch ochenaid ar eich gilydd.*
[h] Mat. 24. 33. 1 Cor. 4. 5.
[i] Mat. 5. 10, 11.
† *cyfrif.*
[k] Job 1. 21, 22.
[l] Job 42. 10.
[m] Num. 14. 18. Psal. 103. 8.
[n] Mat. 5. 34.
[o] Eph. 5. 19. Col. 3. 16.
‡ *uwch ei ben.*
[p] Marc 6. 13. a 16. 18.
[q] Psal. 10. 17. a 34. 15, 18. a 145. 18. Diar. 15. 29. a 28. 9. Ioan 9. 31. 1 Ioan 3. 22.
[r] Act. 14. 15.
[s] 1 Bren. 17. 1.
[t] 1 Bren. 18. 42, 45.
[u] Mat. 18. 15.
[x] Rhuf. 11. 14. 1 Cor. 9. 22. 1 Tim. 4. 16.
[y] Diar. 10. 12. 1 Petr 4. 8.

## PEN. I.

1 *Y mae efe yn bendithio Duw am ei amryw rad ysprydol:* 12 *gan ddangos nad yw yr iachawdwriaeth yng Nghrist beth newydd, eithr peth a broffwydwyd er ys talm.* 13 *Cyngori i fyw yn dduwiol, gan eu bod hwy wedi eu geni o newydd trwy air Duw.*

Bl. yr Argl. cylch. 60.

PETR, apostol Iesu Grist, at y dieithriaid [a] sy ar wasgar ar hyd Pontus, Galatia, Cappadocia, Asia, a Bithynia,

2 Etholedigion [b] yn ol rhag-wybodaeth Duw Dad, [c] trwy sancteiddiad yr Yspryd, i ufudd-dod a [d] thaenelliad gwaed Iesu Grist. [e] Gras i chwi a heddwch a amlhaer.

3 [f] Bendigedig *fyddo* Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn yn ol ei fawr drugaredd [g] a'n hadgenhedlodd ni i obaith bywiol, [h] trwy adgyfodiad Iesu Grist oddi wrth y meirw,

4 I etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflannedig, ac [i] ynghadw yn y nefoedd i † chwi,

5 [k] Y rhai trwy allu Duw ‡ ydych gadwedig trwy ffydd i iachawdwriaeth parod i'w datguddio yn yr amser diweddaf.

6 Yn yr hyn yr ydych yn mawr-lawenhau, er eich bod [l] ychydig yr awrhon (os rhaid yw) [m] mewn tristwch, trwy amryw brofedigaethau:

7 Fel y caffer [n] profiad eich ffydd chwi, yr hwn sydd werthfawrusach nâ'r aur colladwy, cyd [o] profer ef trwy dân, er mawl, ac anrhydedd, a gogoniant, yn ymddangosiad Iesu Grist:

8 [p] Yr hwn, er na's gwelsoch, yr ydych yn ei garu; [q] yn yr hwn, heb fod yr awrhon yn ei weled, ond yn credu, yr ydych yn mawr lawenhau â llawenydd anhraethadwy a gogoneddus:

9 Gan dderbyn diwedd eich ffydd, *sef* iachawdwriaeth *eich* eneidiau.

10 [r] Am yr hon iachawdwriaeth yr ymofynodd, ac y manwl-chwiliodd y prophwydi, y rhai a brophwydasant am y gras *a ddeuai* i chwi:

11 Gan chwilio pa bryd, neu pa ryw amser, yr oedd [s] Yspryd Crist, yr hwn oedd ynddynt, yn ei hyspysu, pan oedd efe yn rhag-dystiolaethu [t] dioddefaint Crist, a'r gogoniant ar ol hynny.

12 [u] I'r rhai y datguddiwyd, [x] nad iddynt hwy eu hunain, ond i ni, yr oeddynt yn § gweini *yn* y pethau a fynegwyd yn awr i chwi, gan y rhai a efangylasant i chwi [y] trwy'r Yspryd Glân, yr hwn a ddanfonwyd o'r nef; [z] ar yr hyn bethau y mae'r angylion yn chwennychu edrych.

13 O herwydd paham, [a] gan wregysu lwynau eich meddwl, a [b] bod yn sobr, gobeithiwch yn berffaith am y gras a ddygir i chwi yn natguddiad Iesu Grist;

14 Fel plant ufudd-dod, heb gyd-ymagweddu â'r trachwantau o'r blaen [c] yn eich anwybodaeth:

15 Eithr megis y mae y neb a'ch galwodd chwi yn sanctaidd, byddwch chwithau hefyd sanctaidd ym mhob ymarweddiad;

16 Oblegid y mae yn ysgrifenedig, [d] Byddwch sanctaidd; canys sanctaidd ydwyf fi.

17 Ac os ydych yn galw ar y Tad, [e] yr hwn sydd heb dderbyn wyneb yn barnu yn ol gweithred pob un, [f] ymddygwch mewn ofn dros amser eich [g] ymdeithiad:

18 Gan wybod [h] nad â phethau llygredig, megis arian neu aur, y'ch prynwyd oddi wrth eich ofer ymarweddiad, [i] yr hon a gawsoch trwy draddodiad y tadau;

19 Eithr [k] â gwerthfawr waed Crist, [l] megis oen difeius a difrycheulyd:

20 [m] Yr hwn yn wir a ‖ rag-ordeiniwyd cyn sylfaenu'r byd, eithr a eglurwyd [n] yn yr amseroedd diweddaf er eich mwyn chwi;

21 Y rhai ydych trwyddo ef yn credu yn Nuw, [o] yr hwn a'i cyfododd ef oddi wrth y meirw, ac [p] a roddodd iddo ef ogoniant, fel y byddai eich ffydd chwi a'ch gobaith yn Nuw.

22 Gwedi [q] puro eich eneidiau, gan ufuddhau i'r gwirionedd trwy'r Yspryd, [r] i frawdgarwch diragrith: cerwch eich gilydd o galon bur yn helaeth:

23 [s] Wedi eich ail-eni, nid o had llygredig, eithr anllygredig, [t] trwy air Duw, *yr hwn sydd* yn byw ac yn parhau yn dragywydd.

24 Canys [u] pob cnawd fel glas-welltyn *yw*, a holl ogoniant dyn fel blodeuyn y glas-welltyn. Gwywodd y glas-welltyn, a'i flodeuyn a syrthiodd:

25 Eithr gair yr Arglwydd sydd yn aros yn dragywydd. A hwn yw'r gair a bregethwyd i chwi.

[a] Ioan 7. 35. Iago 1. 1. [b] Rhuf. 8. 29. [c] 2 Thes. 2. 13. [d] Heb. 12. 24. [e] Rhuf. 1. 7. 2 Petr 1. 2. [f] 2 Cor. 1. 3. [g] Ioan 3. 3, 5. Iago 1. 18. [h] 1 Cor. 15. 20. [i] Col. 1. 5. † ni. [k] Ioan 10. 28, 29. a 17. 11, 12, 15. Judas 1. ‡ ydym. [l] 2 Cor. 4. 17. [m] Iago 1. 2. [n] Iago 1. 3. Pen. 4. 12. [o] Diar. 17. 3. Zech. 13. 9. [p] 1 Ioan 4. 20. [q] Ioan 20. 29. 2 Cor. 5. 7. Heb. 11. 1, 27. [r] Gen. 49. 10. Dan. 2. 44. Hag. 2. 7. Zech. 6. 12. Mat. 13. 17. Luc 10. 24. [s] 2 Petr 1. 21. Pen. 3. 19. [t] Psal. 22. 6. Esay 53. 3. Luc 24. 26. [u] Dan. 9. 24. [illegible] 9, 13. [x] Heb. 11. 13, 39. § trefnu y pethau. [y] Act. 2. 4. [z] Exod. 25. 20. Dan. [illegible] 13. [a] [illegible] [b] [illegible] [c] [illegible]

[e] Act. 10. 34. Rhuf. 2. 11. [f] 2 Cor. 7. 1. Phil. 2. 12. [g] 2 Cor. 5. 6. Heb. 11. 13. [h] 1 Cor. 6. 20. a 7. 23. [i] Ezec. 20. 18. [k] Heb. 9. 12, 14. Dat. 5. 9. [l] Exod. 12. 5. Ioan 1. 29, 36. 1 Cor. 5. 7. [m] Rhuf. 3. 25. a 16. 25, 26. Col. 1. 26. 2 Tim. 1. 10. Tit. 1. 2. Dat. 13. 8. ‖ rag-wybuwyd. [n] Eph. 1. 10. [o] Act. 2. 24. [p] Phil. 2. 9. [q] Act. 15. 9. [r] Rhuf. 12. 10. 1 Tim. 1. 5. Heb. 13. 1. 1 Ioan 3. 9.

[illegible] Rhuf. 13. 13. 1 Thes. 5. 6. [c] Act. 17. 30. [d] Lef. 11. 44. a 19. 2. a 20. 7.

Pen. 2. 17. [s] Ioan 1. 13. a 3. 5. [t] Iago 1. 18. [u] Esai. 40. 6. Iago 1. 10.

## PEN. II.

1 *Y mae efe yn eu cynghori na wnelont ddim yn erbyn cariad:* 4 *ac yn dangos mai Crist ydyw'r sylfaen yr adeiladwyd hwynt arno:* 11 *ac yn dymuno arnynt ymgadw rhag chwantau cnawdol;* 13 *a bod yn ufudd i swyddogion.* 18 *Ac y mae yn dysgu i weision ufuddhau i'w meistraid,* 20 *a bod yn ddioddefgar, wrth esampl Crist, er eu bod yn cael cam.*

Cylch 60.

[a] WEDI rhoi heibio gan hynny bob drygioni, a phob twyll, a rhagrith, a chynfigen, a phob gogan air,

2 Fel rhai bychain newydd-eni, chwennychwch † ddidwyll laeth y gair, fel y cynnyddoch trwyddo ef:

3 Os [b] profasoch *fod* yr Arglwydd yn dirion.

4 At yr hwn *yr ydych* yn dyfod, *megis at* faen bywiol, [c] a wrthodwyd gan ddynion, eithr etholedig gan Dduw, *a* gwerthfawr.

5 [d] A chwithau, megis meini bywiol, ‡ ydych wedi eich adeiladu [e] yn dŷ ysprydol, [f] yn offeiriadaeth sanctaidd, i offrymmu aberthau [g] ysprydol, [h] cymmeradwy gan Dduw trwy Iesu Grist.

6 O herwydd paham y cynhwysir yn yr ysgrythyr, § Wele, yr wyf yn gosod yn Sïon ben-congl-faen, etholedig, *a* gwerthfawr: a'r hwn a gred ynddo, ni's gwaradwyddir.

7 I chwi gan hynny, y rhai ydych yn credu, *y mae* yn ‖ urddas: eithr i'r † anufuddion, [i] y maen a wrthododd yr adeiladwyr, hwnnw a wnaed yn ben y gongl,

[a] Eph. 4. 22, 25. Col. 3. 8. Heb. 12. 1. † *y rhesymol a'r diddwyll laeth.* [b] Psal. 34. 8. [c] Psal. 118. 22. [d] Eph. 2. 21, 22. ‡ *adeiladir chwi.* [e] Heb. 3. 6. [f] Esay 61. 6. a 66. 21. Adn. 9. [g] Hos. 14. 2. Mal. 1. 11. Rhuf. 12. 1. Heb. 13. 15, 16.

[h] Pen. 4. 11. § Esay 28. 16. Rhuf. 9. 33. ‖ *werthfawr.* † *rhai nid ydynt yn credu.* [i] Psal. 118. 22.

8 [k] Ac yn faen tramgwydd, ac yn graig rhwystr, [l] *i'r rhai* sy yn tramgwyddo wrth y gair, gan fod yn anufudd; [m] i'r hwn beth yr ordeiniwyd hwynt hefyd.

9 Eithr chwychwi *ydych* rywogaeth etholedig, [n] brenhinol offeiriadaeth, cenhedl sanctaidd, pobl † brïodol i *Dduw;* fel y mynegoch rinweddau yr hwn a'ch galwodd allan o [o] dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef:

10 [p] Y rhai gynt nid *oeddych* bobl, ond yn awr *ydych* bobl i Dduw: y rhai ni chawsech drugaredd, ond yr awrhon a gawsoch drugaredd.

11 Anwylyd, yr wyf yn attolwg *i chwi,* [q] megis dïeithriaid a phererinion, [r] ymgedwch oddi wrth chwantau cnawdol, [s] y rhai sy yn rhyfela yn erbyn yr enaid;

12 [t] Gan fod â'ch ymarweddiad yn onest ym mysg y Cenhedloedd: fel, lle maent yn eich goganu megis drwg-weithredwŷr, [u] y gallont, o herwydd *eich* gweithredoedd da a welant, ogoneddu Duw yn nydd yr ymweliad.

13 [x] Ymddarostyngwch oblegid hyn i bob dynol ordinhâd, o herwydd yr Arglwydd: pa un bynnag ai i'r brenhin, megis goruchaf;

14 Ai i'r llywiawdwŷr, megis trwyddo ef wedi eu danfon, [y] er dïal ar y drwg-weithredwŷr, a [z] mawl i'r gweithredwŷr da.

15 Canys felly y mae ewyllys Duw, fod i chwi [a] trwy wneuthur daioni ostegu anwybodaeth dynion ffolion:

16 [b] Megis yn rhyddion, ac nid â rhyddid gennych megis cochl malais, eithr fel [c] gwasanaethwŷr Duw.

17 [d] Perchwch bawb. [e] Cerwch y brawdoliaeth. [f] Ofnwch Dduw. Anrhydeddwch y brenhin.

18 [g] Y gweision, *byddwch* ddarostyngedig gyd â phob ofn i'*ch* meistraid: nid yn unig i'r *rhai* da a chyweithas, eithr i'r *rhai* anghyweithas hefyd.

19 Canys hyn *sydd* [h] ‡ rasol, os yw neb o herwydd cydwybod i Dduw yn dwyn tristwch, gan ddïoddef ar gam.

20 Oblegid [i] pa glod *yw,* os, pan bechoch, a chael eich cernodio, y byddwch dda eich amynedd? eithr os, a chwi yn gwneuthur yn dda, ac yn dïoddef, y byddwch dda eich amynedd; hyn *sydd* § rasol ger bron Duw.

21 Canys [k] i hyn y'ch galwyd hefyd: oblegid [l] Crist yntau a ddïoddefodd drosom ni, [m] gan adael i ‖ ni esampl, fel y canlynech ei ôl ef:

22 [n] Yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau:

23 [o] Yr hwn, pan ddifenwyd, ni ddifenwodd drachefn; pan ddïoddefodd, ni fygythiodd; eithr rhoddodd ar y neb sydd yn barnu yn gyfiawn:

24 [p] Yr hwn ei hun a ddug ein pechodau ni yn ei gorph † ar y pren; [q] fel, gwedi ein marw i bechodau, y byddem byw i gyfiawnder: [r] trwy gleisiau yr hwn yr iachawyd chwi.

25 Canys [s] yr oeddych megis defaid yn myned ar gyfeiliorn; eithr yn awr chwi a ddychwelwyd [t] at Fugail ac Esgob eich eneidiau.

[k] Esay 8. 14. Luc 2. 34. Rhuf. 9. 33. [l] 1 Cor. 1. 23. [m] Exod. 9. 16. Rhuf. 9. 22. 1 Thess. 5. 9. Judas 4. [n] Exod. 19. 5. 6. Dat. 1. 6. a 5. 10. † *bryniedig, fel,* &c. [o] Eph. 5. 8. Col. 1. 13. [p] Hos. 1. 9, 10. a 2. 23. Rhuf. 9. 25. [q] 1 Chron. 29. 15. Psal. 39. 12. a 119. 19. Pen. 1. 17. [r] Rhuf. 13. 14. Gal. 5. 16. [s] Iago 4. 1. [t] 2 Cor. 8. 21. Tit. 2. 8. Pen. 3. 16. [u] Mat. 5. 16. [x] Rhuf. 13. 1. Tit. 3. 1. [y] Rhuf. 13. 4. [z] Rhuf. 13. 3. [a] Tit. 2. 8. [b] Gal. 5. 1, 13. [c] 1 Cor. 7. 22. [d] Pen. 1. 22. Phil. 2. 3. [e] Pen. 1. 22. [f] Mat. 22. 21. [g] Eph. 6. 5. Col. 3. 22. Tit. 2. 9. [h] Mat. 5. 10. Rhuf. 13. 5. ‡ *ras,* neu, *ddïolch.* [i] Pen. 3. 14. § *ras,* neu, *ddïolch.* [k] Mat. 16. 14. 1 Thess. 3. 3. [l] Pen. 3. 18. [m] Ioan 13. 15. ‖ Neu, *chwi.* [n] Esay 53. 9, 10. 2 Cor. 5. 21. [o] Mat. 27. 39. Ioan 8. 48, 49. [p] Esay 53. 4, 5, 6. Mat. 8. 17. Heb. 9. 28.

† *ar.* [q] Rhuf. 6. 2, 11. a 7. 6. [r] Esay 53. 5. [s] Esay 53. 6. [t] Ezec. 34. 23. a 37. 24. Ioan 10. 11. Heb. 13. 20.

## PEN. III.

1 *Y mae yn dysgu i wŷr a gwragedd eu dyled i'w gilydd:* 8 *yn annog pawb i undeb a chariad;* 14 *ac i ddïoddef erlid;* 19 *ac yn adrodd daioni Duw i'r hên fyd gynt.*

YR un ffunud, [a] *bydded* y gwragedd ostyngedig i'w gwŷr prïod; fel, od oes rhai heb gredu i'r gair, [b] y galler trwy ymarweddiad y gwragedd, [c] eu hynnill hwy heb y gair, Cylch 60.

2 Wrth edrych ar eich ymarweddiad diwair chwi ynghyd ag ofn.

3 [d] Trwsiad y rhai bydded nid yr un oddi allan, o blethiad gwallt, ac amgylch-osodiad aur, neu wisgad dillad;

4 Eithr *bydded* [e] cuddiedig ddyn y galon, mewn anllygredigaeth ysbryd addfwyn a llonydd, yr hwn sydd ger bron Duw yn werthfawr.

5 Canys felly gynt yr oedd y gwragedd sanctaidd hefyd, y rhai oedd yn gobeithio yn Nuw, yn ymdrwsio, gan fod yn ddarostyngedig i'w gwŷr prïod;

6 Megis yr ufuddhaodd Sara i Abraham, [f] gan ei alw ef yn arglwydd: † merched yr hon ydych chwi, tra fyddoch yn gwneuthur yn dda, ac heb ofni dim dychryn.

7 [g] Y gwŷr, yr un ffunud, cyd-gyfannneddwch â hwynt yn ol gwybodaeth, gan roddi parch i'r wraig [h] megis i'r llestr gwannaf, fel rhai sy gyd-etifeddion gras y bywyd; [i] rhag rhwystro eich gweddïau.

8 Am ben hyn, [k] *byddwch* oll yn unfryd, yn cyd-oddef â'ch gilydd, yn caru ‡ fel brodyr, yn drugarogion, yn fwynaidd:

9 [l] Nid yn talu drwg am ddrwg, neu sen am sen: eithr, yngwrthwyneb, yn bendithio; gan wybod mai i hyn y'ch galwyd, [m] fel yr etifeddoch fendith.

10 Canys [n] y neb a ewyllysio hoffi bywyd, a gweled dyddiau da, attalied ei dafod oddi wrth ddrwg, a'i wefusau rhag adrodd twyll.

11 [o] Gocheled y drwg, a gwnaed y da; ceisied heddwch, a dilyned ef.

12 Canys *y mae* llygaid yr Arglwydd ar y rhai cyfiawn, a'i glustiau ef tu ag at eu gweddi hwynt: eithr *y mae* wyneb yr Arglwydd yn erbyn y rhai sy'n gwneuthur drwg.

13 A phwy a'ch dryga chwi, os byddwch yn dilyn yr hyn sydd dda?

14 [p] Eithr o bydd i chwi hefyd ddïoddef o herwydd cyfiawnder, dedwydd *ydych:* ond [q] nac ofnwch rhag eu hofn hwynt, ac na'ch cynhyrfer;

15 Eithr sancteiddiwch yr Arglwydd Dduw yn eich calonnau: a [r] *byddwch* barod bob amser i atteb i bob un a ofyno i chwi reswm am y gobaith sydd ynoch, gyd ag addfwynder § ac ofn:

16 [s] A chennych gydwybod dda; fel yn yr hyn y maent yn eich goganu megis drwg-weithredwŷr, y cywilyddio y rhai sydd yn beio ar eich ymarweddiad da chwi yng Nghrist.

17 Canys gwell *ydyw,* os ewyllys Duw a'i myn, i chwi ddïoddef yn gwneuthur daioni, nag yn gwneuthur drygioni.

18 Oblegid Crist hefyd [t] unwaith a ddïoddefodd dros bechodau, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn (fel y dygai ni at Dduw) [u] wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhâu yn yr Ysbryd:

19 Trwy'r hwn yr aeth efe hefyd ac [x] a bregethodd i'r ysprydion yngharchar;

[a] 1 Cor. 14. 34. Eph. 5. 22. Col. 3. 18. Tit. 2. 5. [b] 1 Cor. 7. 16. [c] Mat. 18. 15. 1 Cor. 9. 19—22. [d] 1 Tim. 2. 9. Tit. 2. 3. [e] Psal. 45. 13. Rhuf. 2. 29. a 7. 22. 2 Cor. 4. 16. [f] Gen. 18. 12. † Gr. *plant.* [g] 1 Cor. 7. 7. Eph. 5. 25. [h] 1 Cor. 12. 23. 1 Thess. 4. 4. [i] Job 42. 8. Mat. 5. 24. a 18. 19. [k] Rhuf. 12. 16. a 15. 5. Phil. 3. 16. ‡ Neu, *y brodyr.* [l] Diar. 17. 13. a 20. 22. Mat. 5. 39. Rhuf. 12. 17. [m] Mat 25. 34. [n] Psal. 34. 12, &c. [o] Psal. 37. 27. Esay 1. 16. 3 Ioan 11. [p] Mat. 5. 10, 11, 12. Pen. 2. 19. a 4. 14. [q] Esay 8. 12, 13. Jer. 1. 8. [r] Psal. 119. 46. Act. 4. 8. Col. 4. 6. § *a pharch.* [s] Pen. 2. 21. [t] Rhuf. 5. 6. Heb. 9. 26, 28. [u] Rhuf. 1. 4. 2 Cor. 13. 4. [x] Pen. 1. 12. a 4. 6.

20 [y] Y rhai a fu gynt anufudd, pan un-
waith yr oedd hir-amynedd Duw yn aros yn
nyddiau Noe, tra [z] y darperid yr arch, [a] yn
yr hon ychydig, sef wyth enaid, a achubwyd
trwy ddwfr.
21 [b] Cyffelybiaeth cyfattebol i'r hwn sydd
yr awrhon yn ein hachub ninnau, *sef* bedydd
(nid bwrw ymaith fudreddi'r cnawd, eithr
ymatteb cydwybod dda tu ag at Dduw)
trwy adgyfodiad Iesu Grist :
22 Yr hwn sydd [c] ar ddeheu-law Duw,
wedi myned i'r nef; *a'r* [d] angylion, a'r
awdurdodau, a'r galluoedd, wedi eu dar-
ostwng iddo.

## PEN. IV.

*Y mae yn eu hannog hwy i beidio â phechu, trwy esampl Crist, a thrwy ystyried fod diwedd pob peth yn prysuro yn agos. 12 Y mae yn eu cysuro yn erbyn erlid.*

Cylch 60.

AM hynny gan ddïoddef o Grist drosom
ni yn y cnawd, chwithau hefyd bydd-
wch wedi eich arfogi â'r un meddwl : oblegid
[a] yr hwn a ddïoddefodd yn y cnawd, a beid-
iodd â phechod ;
2 [b] Fel na byddo mwyach [c] fyw i chwant-
au dynion, ond i ewyllys Duw, dros yr
amser sydd yn ol yn y cnawd.
3 Canys digon i ni [d] yr amser a aeth
heibio o'r einioes [e] i weithredu ewyllys y
Cenhedloedd, gan rodio mewn trythyll-
wch, trachwantau, meddwdod, cyfeddach,
† dïotta, a ffiaidd eilun-addoliad :
4 Yn yr hyn y maent yn ddïeithr [f] yn
*eich* cablu *chwi*, am nad ydych yn cyd-
redeg gyd â hwynt i'r unrhyw ormod
rhysedd :
5 Y rhai a roddant gyfrif i'r hwn sydd
barod [g] i farnu y byw a'r meirw.
6 Canys er mwyn hynny [h] yr efangylwyd
i'r meirw hefyd ; fel y bernid hwy yn ol
dynion yn y cnawd, ac y byddent fyw yn
ol Duw yn yr yspryd.
7 Eithr [i] diwedd pob peth a nesaodd :
[k] am hynny byddwch sobr, a gwyliadwrus
i weddïau.
8 Eithr, o flaen pob peth, bydded gennych
gariad ‡ helaeth tu ag at eich gilydd : canys
[l] cariad a guddia liaws o bechodau.
9 Byddwch [m] letteugar y naill i'r llall,
[n] heb rwgnach.
10 [o] Pob un, megis y derbyniodd rodd,
cyfrennwch â'ch gilydd, [p] fel daionus or-
uchwylwŷr [q] amryw ras Duw.
11 [r] Os llefaru a wna neb, *llefared* me-
gis § geiriau Duw ; os gweini y mae neb,
*gwnaed* megis o'r gallu y mae Duw yn ei
roddi : fel [s] ym mhob peth y gogonedder
Duw trwy Iesu Grist ; [t] i'r hwn y byddo'r
gogoniant a'r gallu yn oes oesoedd. A-
men.
12 Anwylyd, na fydded ddïeithr gen-
nych am [u] y profiad tanllyd sydd ynoch,
yr hwn a wneir er profedigaeth i chwi,
fel pe bai beth dieithr yn digwydd i
chwi :
13 Eithr [x] llawenhêwch, yn gymmaint
a'ch bod [y] yn gyfrannogion o ddïoddef-
iadau Crist ; fel, pan ddatguddier ei ogon-
iant ef, y byddoch yn llawen ac yn gorfo-
leddu.
14 [z] Os difenwir chwi er mwyn enw
Crist, gwŷn *eich* byd : oblegid y mae Ys-
pryd y gogoniant, ac *Yspryd* Duw yn gor-
phwys arnoch. Ar eu rhan hwynt yn wir
efe a geblir, ond ar eich rhan chwi efe a
ogoneddir.
15 Eithr [a] na ddïoddefed neb o honoch
fel llofrudd, neu leidr, neu ddrwg-weith-
redwr, neu fel un yn ymyrreth â matterion
rhai eraill :
16 Eithr os fel Cristion, na fydded gy-
wilydd ganddo ; ond gogonedded Dduw yn
hyn o ran.
17 Canys *daeth* yr amser [b] i ddechreu o'r
farn o dŷ Dduw : ac [c] os *dechreu hi* yn gyn-
taf arnom ni, [d] beth *fydd* diwedd y rhai nid
ydynt yn ‖ credu i efengyl Dduw ?
18 [e] Ac os braidd y mae'r cyfiawn yn
gadwedig, pa le yr ymddengys yr annuwiol
a'r pechadur ?
19 Am hynny y rhai hefyd sy yn dïoddef
yn ol ewyllys Duw, [f] gorchymynant eu he-
neidiau *iddo ef*, megis i Greawdwr ffyddlon,
gan wneuthur yn dda.

## PEN. V.

*1 Y mae yn annog yr henuriaid i borthi defaid Crist ; 5 a'r ieuaingc i ufuddhâu : 8 a phawb i wylied, ac i fod yn sobr, ac yn ddïanwadal yn y ffydd ; 9 ac i wrthwynebu y cythraul, y gwrthwynebwr creulon.*

YR henuriaid sy yn eich plith, attolwg Cylch 60.
iddynt yr ydwyf fi, yr hwn wyf [a] gyd-
henuriad, a [b] thyst o ddïoddefiadau Crist,
yr hwn hefyd *wyf* [c] gyfrannog o'r gogoniant
a ddatguddir :
2 [d] Porthwch braidd Duw † yr hwn
sydd yn eich plith, gan fwrw golwg *arnynt* ;
nid trwy gymmell, eithr yn ewyllysgar ;
[e] nid er mwyn budr-elw, eithr o barod-
rwydd meddwl ;
3 Nid fel rhai [f] yn tra-arglwyddïaethu
ar [g] etifeddiaeth *Dduw*, ond [h] gan fod yn
esamplau i'r praidd.
4 A phan [i] ymddangoso y Pen-bugail,
chwi a gewch dderbyn anniflannedig [k] go-
ron y gogoniant.
5 Yr un ffunud yr ieuaingc, byddwch
ostyngedig i'r henuriaid. A byddwch [l] *bawb*
yn ostyngedig i'ch gilydd, ac ymdrwsiwch
oddi fewn â gostyngeiddrwydd. Oblegid
‡ y mae Duw yn gwrthwynebu y beilchion,
ac yn rhoddi gras i'r rhai gostyngedig.
6 [m] Ymddarostyngwch gan hynny dan
alluog law Dduw, fel y'ch dyrchafo mewn
amser cyfaddas :
7 [n] Gan fwrw eich holl ofal arno ef ; ca-
nys y mae efe yn gofalu drosoch chwi.
8 [o] Byddwch sobr, gwyliwch : oblegid
y mae [p] eich gwrthwynebwr diafol, megis
llew rhuadwy, yn rhodio oddi amgylch,
gan geisio y neb a allo ei lyngcu.
9 [q] Yr hwn gwrthwynebwch yn gadarn
yn y ffydd ; gan wybod fod yn cyflawni yr
un blinderau yn eich § brodyr y rhai sydd
yn y byd.
10 A Duw pob gras, yr hwn a'ch galwodd
chwi i'w dragywyddol ogoniant ‖ trwy
Grist Iesu, wedi i chwi ddïoddef [r] ychydig,
[s] a'ch perffeithio chwi, a'*ch* cadarnhao, a'*ch*
cryfhao, a'*ch* sefydlo.
11 [t] Iddo ef *y byddo y* gogoniant a'r gallu
yn oes oesoedd. Amen.
12 Gyd â Silfanus, brawd ffyddlon i chwi
(fel yr wyf yn tybied) [u] y 'sgrifenais ar
ychydig eiriau, gan gynghori a thystiolaethu,

[y] Gen. 6. 3, 13. [z] Heb. 11. 7. [a] Gen. 7. 7. a 8. 18. 2 Petr 2. 5. [b] Eph. 5. 26. [c] Psal. 110. 1. Eph. 1. 20, 21. [d] Rhuf. 8. 38.

[a] Rhuf. 6. 7. [b] Rhuf. 14. 7. [c] Gal. 2. 20. [d] Ezec. 44. 6. a 45. 9. Act. 17. 30. [e] Eph. 4. 17. † *ymyfed.* [f] Act. 13. 45. a 18. 6. [g] Act. 10. 42. 1 Cor. 15. 51, 52. [h] Pen. 3. 19. [i] Mat. 24. 13, 14. Rhuf. 13. 12. Phil. 4. 5. 2 Petr 3. 9, 11. [k] Mat. 26. 41. Col. 4. 2. Pen. 5. 8. ‡ *gwresog parhaus.* [l] Diar. 10. 12. Iago 5. 20. [m] Rhuf. 12. 13. Heb. 13. 2. [n] Phil. 2. 14. [o] Rhuf. 12. 6. [p] Mat. 25. 14. Luc 12. 44. 1 Cor. 4. 1, 2. Tit. 1. 7. [q] 1 Cor. 12. 4. Eph. 4. 1. [r] Rhuf. 12. 6, 7, 8. 1 Cor. 3. 10. § *oraclau.* [s] Eph. 5. 20. [t] 1 Tim. 6. 16. [u] 1 Cor. 3. 13. Pen. 1. 7. [x] Act. 5. 41. Iago 1. 2. [y] 2 Cor. 4. 10. Col. 1. 24. 2 Tim. 2. 10. Dat. 1. 9. [z] Mat. 5. 11. Pen. 2. 20. a 3. 14.

[a] Pen. 2. 20. [b] Esay 10. 12. Jer. 25. 29. a 49. 12. Mal. 4. 5. [c] Luc 23. 31. [d] Luc 10. 12, 14. ‖ *ufuddhâu.* [e] Diar. 11. 31. Luc 23. 31. [f] Psal. 31. 5. Luc 23. 46. 2 Tim. 1. 12.

[a] Philem. 9. [b] Luc 24. 48. [c] Rhuf. 8. 17, 18. Dat. 1. 9. [d] Act. 20. 28. † *hyd y gallwch.* [e] 1 Tim. 3. 3, 8. Tit 1. 7. [f] Mat. 20. 25, 26. 1 Cor. 3. 5. 2 Cor. 1. 24. [g] Psal. 33. 12. a 74. 2. [h] Phil. 3. 17. 2 Thes. 3. 9. 1 Tim. 4. 12. Tit. 2. 7. [i] Heb. 13. 20. [k] 1 Cor. 9. 25. [l] Rhuf. 12. 10. Eph. 5. 21. ‡ Iago 4. 6. [m] Iago 4. 10. [n] Psal. 37. 5. a 55. 22. Doeth. 12. 13. Mat. 6. 25. Phil. 4. 6. [o] Luc 21. 36. 1 Thes. 5. 6. Pen. 4. 7. [p] Job 1. 7. a 2. 2. [q] Eph. 6. 11, 13. Iago 4. 7. § *brawdoliaeth, yr hon sydd.* ‖ *yng Nghrist Iesu.* [r] 2 Cor. 4. 17. Pen. 1. 6. [s] Heb. 13. 21. [t] Pen. 4. 11. Dat. 1. 6. [u] Heb. 13. 22.

mai gwir ras Duw yw yr hwn yr ydych yn
sefyll ynddo.
13 Y mae'r *eglwys sydd* yn Babilon, yn
gyd-etholedig *â chwi,* yn eich annerch; a
x Marc, fy mab i.

x Act. 12. 12, 25.

14 y Annerchwch eich gilydd â chusan
cariad. Tangnefedd i chwi oll y rhai ydych
yng Nghrist Iesu. Amen.

y Rhuf. 16. 16. 1 Cor. 16. 20. 2 Cor. 13. 12. 1 Thess. 5. 26.

# ¶ Ail Epistol cyffredinol PETR yr Apostol.

## PEN. I.

1 *Y mae efe yn eu cadarnhâu mewn gobaith o gynnydd gras Duw; 5 ac yn eu hannog i wneuthur eu galwedigaeth yn sicr trwy ffydd a gweithredoedd. 12 Y mae yn ofalus i ddwyn hynny ar gof iddynt, gan wybod fod ei farwolaeth ef ei hun yn agos. 16 Y mae yn eu rhybuddio hwy i fod yn ddianwadal yn ffydd Grist, gwir Fab Duw, trwy dystiolaeth yr apostolion a welsant ei ogoniant ef, a thrwy dystiolaeth y Tad, a'r prophwydi.*

SIMON Petr, gwasanaethwr ac apostol
Iesu Grist, at y rhai a gawsant a gyffel-
yb werthfawr ffydd â ninnau, trwy gy-
fiawnder ein Duw † ni, a'n Hachubwr Iesu
Grist.
2 b Gras i chwi a thangnefedd a amlhaer,
trwy adnabod Duw, a Iesu ein Harglwydd
ni,
3 Megis y rhoddes ei dduwiol allu ef i
ni bob peth *a berthyn* i fywyd a duwioldeb,
c trwy ei adnabod ef yr hwn a'n galwodd ni
‡ i ogoniant a rhinwedd:
4 Trwy 'r hyn y rhoddwyd i ni addew-
idion mawr iawn a gwerthfawr; fel trwy
y rhai hyn y byddech d gyfrannogion o'r
duwiol anian, e wedi dïangc oddi wrth
y llygredigaeth sydd yn y byd trwy drach-
want.
5 A hyn yma hefyd, gan roddi cwbl-
ddiwydrwydd, chwanegwch § at eich ffydd,
rinwedd; ac ‖ at rinwedd, wybodaeth;
6 Ac † at wybodaeth, gymmedrolder; ac
‡ at gymmedrolder, amynedd; ac § at amyn-
edd, dduwioldeb:
7 Ac at dduwioldeb, garedigrwydd brawd-
ol; ac f at garedigrwydd brawdol, gariad.
8 Canys os yw y pethau hyn gennych, ac
yn ‖ aml hwynt, y maent yn peri na *bydd-
och* na segur, g na diffrwyth yngwybodaeth
ein Harglwydd Iesu Grist.
9 Oblegid yr hwn nid yw y rhai hyn
ganddo, h dall ydyw, heb weled ym mhell,
wedi gollwng dros gof ei lanhâu oddi wrth
ei bechodau gynt.
10 O herwydd paham yn hytrach, fro-
dyr, byddwch ddiwyd i i wneuthur eich
galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr:
canys, tra fyddoch yn gwneuthur y pethau
hyn, ni lithrwch chwi ddim byth:
11 Canys felly yn helaeth y trefnir i chwi
fynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein
Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist.
12 O herwydd paham, k nid esgeulusaf
eich coffâu bob amser am y pethau hyn, er
eich bod yn eu gwybod, ac wedi eich sicrhâu
yn y gwirionedd presennol.
13 Eithr yr ydwyf yn tybied *fod* yn
iawn, tra fyddwyf yn l y tabernacl hwn,
m eich cyffroi chwi, trwy ddwyn ar gof
*i chwi;*
14 n Gan wybod y bydd i mi ar frys
roddi fy nhabernacl *hwn* heibio, megis ag
yr hyspysodd o ein Harglwydd Iesu Grist
i mi.
15 Ac mi a wnaf fy ngoreu hefyd ar allu

Bl. yr Argl. 60.
a Rhuf. 1. 12. 2 Cor. 4. 13. Tit. 1. 4.
† *ac Achubwr.*
b 1 Petr 1. 2. Judas 2.
c Ioan 17. 3. 1 Petr 2. 9.
‡ *trwy.*
d 2 Cor. 3. 18. Eph. 4. 24. Heb. 12. 10. 1 Ioan 3. 2.
e Pen. 2. 18, 20.
§ *yn.*
‖ *mewn rhinwedd.*
† *mewn gwybodaeth.*
‡ *mewn cymmedrolder.*
§ *mewn.*
f Gal. 6. 10. 1 Thess. 3. 12. a 5. 15.
‖ *helaeth.*
g Tit. 3. 14.
h 1 Ioan 2. 9, 11.
i 1 Ioan 3. 19.
k Rhuf. 15. 14, 15. 1 Ioan 2. 21.
l 2 Cor. 5. 1.
m Pen. 3. 1.
n Deut. 4. 21, 22. a 31. 14. 2 Tim. 4. 6.
o Ioan 21. 18, 19.

o honoch bob amser, ar ol fy ymadawiad i,
wneuthur coffa am y pethau hyn.
16 Canys, nid gan ddilyn p chwedlau
cyfrwys, yr hyspysasom i chwi nerth a dy-
fodiad ein Harglwydd Iesu Grist, eithr
q wedi gweled ei fawredd ef â'n llygaid.
17 Canys efe a dderbyniodd gan Dduw
Dad, barch a gogoniant, pan ddaeth y cyf-
ryw lef atto oddi wrth y mawr-ragorol
Ogoniant, r Hwn yw fy anwyl Fab i, yn
yr hwn y'm boddlonwyd.
18 A'r llef yma, yr hon a ddaeth o'r nef,
a glywsom ni, pan oeddym gyd ag ef yn s y
mynydd sanctaidd.
19 Ac y mae gennym air sicrach y pro-
phwydi; yr hwn da y gwnewch fod yn
dal arno, megis ar t ganwyll yn llewyrchu
mewn lle tywyll, hyd oni wawrio'r dydd,
ac oni chodo'r u seren ddydd yn eich ca-
lonnau chwi:
20 Gan wybod hyn yn gyntaf, x nad oes
un brophwydoliaeth o'r ysgrythyr o dde-
ongliad prïod.
21 Canys y nid trwy ewyllys dyn y daeth
† gynt brophwydoliaeth: eithr dynion sanct-
aidd Duw a lefarasant *megis* y cynhyrfwyd
*hwy* gan yr Yspryd Glân.

p 1 Cor. 1. 17. a 2. 1.
q Mat. 17. 1, 2. Ioan 1. 14. 1 Ioan 1. 1 a 4. 14.
r Mat. 3. 17. a 17. 5.
s Exod. 3. 5. Jos. 5. 15.
t Psal. 119. 105. Ioan 5. 35.
u Dat. 2. 28. a 22. 16.
x Rhuf. 12. 6.
y 2 Tim. 3. 16. 1 Petr 1. 11.
† *un amser.*

## PEN. II.

1 *Y mae efe yn prophwydo am athrawon ffeilsion; ac yn dangos eu hanwiredd a'u dialedd hwy, a'u dilynwŷr: 7 oddi wrth y rhai y gwaredir y rhai duwiol, fel y gwaredwyd Lot o Sodom. 10 Y mae efe yn dangos yn helaethach gynheddfau y twyllwyr hynny, fel y galler eu hadnabod hwy yn haws, a'u gochelyd.*

EITHR a bu gau-brophwydi hefyd ym
mhlith y bobl, megis ag b y bydd gau-
athrawon yn eich plith chwithau; y rhai yn
ddirgel a ddygant i mewn heresiau dinys-
triol, a c chan wadu 'r Arglwydd, d yr hwn
a'u prynodd hwynt, ydynt yn tynnu arnynt
eu hunain ddinystr buan.
2 A llawer a ganlynant eu † distryw
hwynt, o herwydd y rhai y ceblir ffordd y
gwirionedd.
3 Ac e mewn cybydd-dod, trwy chwedlau
gwneuthur, y gwnant farsiandïaeth o honoch:
f barnedigaeth y rhai er ys talm nid yw se-
gur, a'u colledigaeth hwy nid yw yn hepian.
4 Canys g onid arbedodd Duw 'r angyl-
ion h a bechasent, eithr i *eu* taflu *hwynt* i
uffern, a'*u* rhoddi i gadwynau tywyllwch,
i'w cadw i farnedigaeth;
5 Ac onid arbedodd efe yr hen fyd,
eithr k Noë, pregethwr cyfiawnder, a gadw-
odd efe ar ei wythfed, pan ddug efe y diluw
ar fyd y rhai anwir;
6 A l chan droi dinasoedd Sodom a Go-
morrah yn lludw, a'u ‡ damniodd *hwy* â
dymchweliad, m gan *eu* gosod yn esampl
i'r rhai a fyddent yn annuwiol;
7 Ac n a waredodd Lot gyfiawn, yr hwn
oedd mewn gofid trwy anniwair ymar-
weddiad yr anwiriaid:

66.
a Deut. 13. 1.
b Mat. 24. 11. Act. 20. 30. 1 Cor. 11. 19. 1 Tim. 4. 1. 2 Tim. 3. 1, 5. Judas 18.
c Judas 4.
d Heb. 10. 29.
† *Neu, trythyllwch.*
e 2 Cor. 12. 17, 18. 1 Tim. 6. 5. Tit. 1. 11.
f Deut. 32. 35.
g Job 4. 18. Judas 6.
h Ioan 8. 44. 1 Ioan 3. 8.
i Luc 8. 31.
k Gen. 7. 1, 7, 23. 1 Petr 3. 20.
l Gen. 19. 24. Judas 7.
‡ *barnodd.*
m Num. 26. 10.
n Gen. 19. 16.

8 (Canys y cyfiawn hwnnw yn trigo yn
eu mysg hwynt, [o] yn gweled ac yn clywed,
a flinodd yn poeni ei enaid cyfiawn o ddydd
i ddydd trwy *eu* hanghyfreithlon weithred-
oedd *hwynt*.)
9 [p] Yr Arglwydd a fedr wared y rhai
duwiol rhag profedigaeth, a chadw y rhai
anghyfiawn i ddydd y farn i'w poeni:
10 Ac yn bennaf [q] y rhai sy'n rhodio ar ol
y cnawd mewn chwant aflendid, ac yn dirmy-
gu † llywodraeth. Rhyfygus *ydynt*, cyn-
dyn, nid ydynt yn arswydo cablu urddas:
11 Lle nid yw'r [r] angylion, y rhai sy fwy
mewn gallu a nerth, yn rhoddi cablaidd farn
yn eu herbyn ‡ hwynt ger bron yr Arglwydd.
12 Eithr y rhai hyn, [s] megis anifeiliaid
anrhesymmol anianol, y rhai a wnaed i'w
dal ac i'w difetha, a gablant y pethau ni
wyddant oddi wrthynt, ac a ddifethir yn eu
llygredigaeth eu hunain;
13 Ac a dderbyniant gyflog anghyfiawn-
der, a hwy yn cyfrif moethau § beunydd yn
hyfrydwch. [t] Brychau a meflau *ydynt*, yn
ymddigrifo yn eu twyll eu hunain, [u] gan
wledda gyd â chwi;
14 A llygaid ganddynt yn llawn ‖ go-
dineb, ac heb fedru peidio â phechod; yn
llithio eneidiau anwadal: a chanddynt galon
wedi ymgynnefino â chybydd-dra; plant *y*
felldith:
15 Wedi gadael y ffordd uniawn, hwy a
aethant ar gyfeiliorn, gan ganlyn ffordd
[x] Balaam *mab* Bosor, yr hwn a garodd
wobr anghyfiawnder;
16 Ond efe a gafodd gerydd am ei gam-
wedd. Asyn mud arferol â'r iau, gan † ddy-
wedyd â llef ddynol, a waharddodd ynfyd-
rwydd y prophwyd.
17 [y] Y rhai hyn ydynt ffynhonnau diddwfr,
cymmylau a yrrid gan dymmestl; i'r rhai y
mae niwl tywyllwch ynghadw yn dragywydd.
18 Canys [z] gan ddywedyd chwyddedig
eiriau gorwagedd, y maent hwy, trwy
chwantau'r cnawd, a thrythyllwch, yn lli-
thio y rhai [a] a ddiangasai ‡ yn gwbl oddi
wrth y rhai sy yn byw ar gyfeiliorn.
19 Gan addo [b] rhyddid iddynt, a hwythau
eu hunain [c] yn wasanaethwyr llygredigaeth:
canys gan bwy bynnag y gorchfygwyd neb,
i hwnnw y hefyd yr aeth efe yn gaeth.
20 Canys [d] os, wedi iddynt [e] ddiangc oddi
wrth halogedigaeth y byd, trwy adnabydd-
iaeth yr Arglwydd a'r Achubwr Iesu Grist,
y rhwystrir hwy drachefn â'r pethau hyn,
a'u gorchfygu; aeth diwedd y rhai hynny
yn waeth nâ'u dechreuad.
21 Canys [f] gwell fuasai iddynt fod heb
adnabod ffordd cyfiawnder, nag, wedi *ei*
hadnabod, troi oddi wrth y gorchymyn
sanctaidd yr hwn a draddodwyd iddynt.
22 Eithr digwyddodd iddynt yn ol y wir
ddihareb, [g] Y ci a ymchwelodd at ei chwydiad
ei hun; a'r hwch wedi ei golchi, i'w hym-
dreiglfa yn y dom.

o Psal. 119. 136. Ezec. 9. 4.
p 1 Cor. 10. 13.
q Judas 4, 7, 8, 10, 16.
† *arglwyddiaeth.*
r Judas 9.
‡ *eu hunain.*
s Jer. 12. 3. Judas 10.
§ Gr. *yn y dydd*, neu, *trwy'r dydd.*
t Judas 12.
u 1 Cor. 11. 20. 21.
‖ Gr. *o'r odinebwraig.*
x Num. 22. 5. 21, 28. Judas 11.
† *lefaru.*
y Judas 12, 13.
z Judas 16.
a Act. 2. 40.
‡ *dros ennyd.*
b 1 Petr 2. 16.
c Ioan 8. 34. Rhuf. 6. 16.
d Mat. 12. 45. Heb. 6. 4. a 10. 26.
e Pen. 1. 4.
f Luc 12. 47, 48.
g Diar. 26. 11.

PEN. III.

*Y mae efe yn eu siccrhau hwy am ddyfodiad Crist i'r farn, yn erbyn y gwatwarwŷr a ymresymmai yn y gwrthwyneb, 8 gan rybuddio y rhai duwiol i brysuro eu hedifeirwch, o ran hir-amynedd Duw: 10 ac y mae yn dangos pa fodd y dinystrir y byd: 11 ac yn eu hannog hwy i sancteiddrwydd buchedd, trwy ddisgwyl hynny: 15 a hefyd i fedaul, mai er mwyn eu hiachawdwriaeth hwynt y mae Duw yn ddioddefgar, megis yr ysgrifenodd Paul attynt.*



YR ail epistol hwn, anwylyd, yr ydwyf
yn awr yn ei 'sgrifennu attoch; † yn yr
hwn [a] yr ydwyf yn cyffroi eich meddwl
puraidd, trwy ddwyn ar gof i chwi:
2 Fel y byddo cofus gennych y geiriau a
rag-ddywedwyd gan y prophwydi sanctaidd,
a'n gorchymyn ninnau, apostolion yr Ar-
glwydd a'r Iachawdwr:
3 [b] Gan wybod hyn yn gyntaf, y daw yn
y dyddiau diweddaf watwarwŷr, yn rhodio
yn ol eu chwantau eu hunain,
4 Ac yn dywedyd, [c] Pa le y mae addewid
ei ddyfodiad ef? canys er pan hunodd y
tadau, y mae pob peth yn parhau ‡ fel *yr*
*oeddynt* o ddechreuad y creadigaeth.
5 Canys y mae hyn yn ddiarwybod iddynt
o'u gwirfodd, mai [d] trwy air Duw yr oedd y
nefoedd er ys talm, a'r ddaear [e] yn cyd-
sefyll o'r dwfr, a thrwy'r dwfr.
6 [f] O herwydd paham y byd a oedd y
pryd hwnnw, wedi ei orchuddio â dwfr, a
ddifethwyd.
7 Eithr [g] y nefoedd a'r ddaear *sy* yr awr-
hon, ydynt trwy'r un gair wedi eu rhoddi
i gadw [h] i dân, erbyn dydd y farn, a dis-
trywedigaeth yr annuwiol ddynion.
8 Eithr yr un peth hwn na fydded yn ddi-
arwybod i chwi, anwylyd, [i] *fod* un dydd
gyd â'r Arglwydd megis mil o flynyddoedd,
a mil o flynyddoedd megis un dydd.
9 [k] Nid ydyw'r Arglwydd yn oedi ei
addewid (fel y mae rhai yn cyfrif oed)
ond [l] hir-ymarhous yw efe tu ag attom ni,
[m] heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond
[n] dyfod o bawb i edifeirwch.
10 Eithr [o] dydd yr Arglwydd a ddaw
megis lleidr y nos; yn yr hwn [p] y nefoedd
a ant heibio gyd â thwrf, a'r § defnyddiau
gan wir wres a doddant, a'r ddaear a'r gwaith
*a fyddo* ynddi a losgir.
11 A chan fod yn rhaid i hyn i gyd ym-
ollwng, pa ryw fath ddynion a ddylech
chwi fod mewn sanctaidd ymarweddiad a
duwioldeb,
12 Yn disgwyl ac yn ‖ brysio at ddyfodiad
dydd Duw, † yn yr hwn y nefoedd gan losgi
a ymollyngant, a'r ‡ defnyddiau gan wir
wres a doddant?
13 Eithr [q] nefoedd newydd, a daear
newydd, yr ydym *ni*, yn ol ei addewid ef,
yn eu disgwyl, yn y rhai y mae cyfiawnder
yn cartrefu.
14 O herwydd paham, anwylyd, gan eich
bod yn disgwyl y pethau hyn, gwnewch
eich goreu [r] ar eich cael ganddo ef mewn
tangnefedd, yn ddifrycheulyd, ac yn ddi-
argyoedd.
15 A chyfrifwch [s] hir-amynedd ein Har-
glwydd, yn iachawdwriaeth; megis ag yr
ysgrifenodd ein hanwyl frawd Paul attoch
chwi, yn ol y doethineb a roddwyd iddo ef;
16 Megis yn ei holl epistolau hefyd, [t] yn
llefaru ynddynt am y pethau hyn: yn y
rhai y mae rhyw bethau anhawdd eu deall,
y rhai y mae yr annysgedig a'r anwastad yn
eu gwyrdroi, megis yr ysgrythyrau eraill,
i'w dinystr eu hunain.
17 Chwychwi gan hynny, anwylyd, a
[u] chwi yn gwybod *y pethau hyn* o'r blaen,
ymgedwch rhag eich arwain ymaith trwy
amryfusedd yr annuwiol, a chwympo o ho-
noch oddi wrth eich sicrwydd eich hun.
18 Eithr cynnyddwch mewn gras a gwy-
bodaeth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr
Iesu Grist. Iddo ef *y byddo* gogoniant yr
awrhon ac § yn dragywyddol. Amen.

66.
† *ym mhob un o'r ddau.*
a Pen. 1. 13.
b 1 Tim. 4. 1. 2 Tim. 3. 1 Judas 18.
c Esay 5. 19. Jer. 17. 15. Ezec. 12. 22, 27.
‡ *fel hyn.*
d Gen. 1. 6, 9. Psal. 33. 6.
e Psal. 24. 2. a 136. 6. Col. 1. 17.
f Gen. 7. 11.
g Adn. 10.
h 2 Thess. 1. 8.
i Psal. 90. 4.
k Hab. 2. 3. Heb. 10. 37.
l Esay 30. 18.
m Ezec. 18. 23, 32. a 33. 11.
n Rhuf. 2. 4. 1 Tim. 2. 4.
o Mat. 24. 43. 1 Thess. 5. 2. Dat. 3. 3. a 16. 15.
p Psal. 102. 26. Esay 51. 6. Mat. 24. 35. Rhuf. 8. 20. Dat. 20. 11. a 21. 1.
§ *elementau.*
‖ *prysuro dyfodiad.*
† *trwy yr.*
‡ *elementau.*
q Esay 65. 17. a 66. 22. Dat. 21. 1. 27.
r 1 Cor. 1. 8. a 5. 58. Phil. 1. 10. 1 Thess. 3. 13. a 5. 23.
s Rhuf. 2. 4. 1 Petr 3. 20. Adn. 9.
t Rhuf. 8. 19. 1 Cor. 15 24. 1 Thess. 4. 15.
u Marc 13 23.
§ *hyd ddydd tragywyddol.*

# ¶ Epistol cyntaf cyffredinol IOAN yr Apostol.

## PEN. I.

*1 Y mae efe yn gosod allan berson Crist, yn yr hwn y mae i ni fywyd tragywyddol, trwy gymdeithas â Duw. 5 Rhaid i ni ymroi i sancteiddrwydd buchedd, i dystiolaethu gwirionedd y gymdeithas honno, a'n ffydd; a hefyd i'n sicrhâu ein hunain o faddeuant pechodau, trwy farwolaeth Crist.*

Bl. yr Argl. gwedi 90.

YR [a] hyn oedd o'r dechreuad, yr hyn a glywsom, yr hyn a welsom â'n llygaid, [b] yr hyn a edrychasom arno, ac [c] a deimlodd ein dwylaw am Air y bywyd;

2 (Canys y bywyd [d] a eglurhawyd, ac ni a welsom, ac ydym yn tystiolaethu, ac yn mynegi i chwi y bywyd tragywyddol, [e] yr hwn oedd gyd â'r Tad, ac a eglurhawyd i ni;)

3 Yr hyn a welsom ac a glywsom, yr ydym yn ei fynegi i chwi, fel y caffoch chwithau hefyd gymdeithas gyd â ni: a'n cymdeithas ni yn wir *sydd* gyd â'r Tad, a chyd â'i Fab ef Iesu Grist.

4 A'r pethau hyn yr ydym yn eu hysgrifenu attoch, [f] fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn.

5 [g] A hon yw'r gennadwri a glywsom ganddo ef, ac yr ydym yn ei hadrodd i chwi; Mai [h] goleuni yw Duw, ac nad oes ynddo ddim tywyllwch.

6 [i] Os dywedwn fod i ni gymdeithas ag ef, a rhodio yn y tywyllwch, celwyddog ydym, ac nid ydym yn gwneuthur y gwirionedd:

7 Eithr os rhodiwn yn y goleuni, megis y mae efe yn y goleuni, y mae i ni gymdeithas â'n gilydd, a [k] gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddi wrth bob pechod.

8 [l] Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom.

9 [m] Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n glanhao oddi wrth bob anghyfiawnder.

10 Os dywedwn na phechasom, yr ydym yn ei wneuthur ef yn gelwyddog, a'i air ef nid yw ynom.

[a] Ioan 1. 1. [b] Ioan 1. 14. 2 Petr 1. 16. Pen. 4. 14. [c] Luc 24. 39. Ioan 20. 27. [d] 1 Tim. 3. 16. [e] Ioan 1. 1, 2. [f] 2 Ioan 12. [g] Pen. 2. 7. [h] Ioan 1. 9. a 8. 12. a 9. 5. a 12. 35, 36. [i] Pen. 2. 4. [k] 1 Cor. 6. 11. Heb. 9. 14. 1 Petr 1. 19. Dat. 1. 5. [l] 1 Bren. 8. 46. 2 Chron. 6. 36. Diar. 20. 9. Preg. 7. 20. Iago 3. 2. [m] Psal. 32. 5. Diar. 28. 13.

## PEN. II.

*1 Y mae efe yn eu cysuro hwy yn erbyn pechodau o wendid. 3 Adnabod Duw yn iawn, yw cadw ei orchymynion ef; 9 a charu ein brodyr; 15 ac na roddom ein serch ar y byd. 18 Rhaid i ni ochelyd twyllwŷr; 20 y rhai y mae y duwiol yn ddiogel oddi wrth eu twyll; trwy barhâu yn y ffydd, ac mewn sancteiddrwydd buchedd.*

Gwedi 90.

FY mhlant bychain, y pethau hyn yr wyf yn eu hysgrifenu attoch, fel na phechoch. Ac o phecha neb, [a] y mae i ni Eiriolwr gyd â'r Tad, Iesu Grist y Cyfiawn:

2 Ac [b] efe yw'r † iawn dros ein pechodau ni: ac nid dros yr eiddom ni yn unig, eithr [c] dros bechodau yr holl fyd.

3 Ac wrth hyn y gwyddom yr adwaenom ef, os cadwn ni ei orchymynion ef.

4 [d] Yr hwn sydd yn dywedyd, Mi a'i hadwaen ef, ac heb gadw ei orchymynion ef, celwyddog yw, a'r gwirionedd nid yw ynddo.

5 Eithr [e] yr hwn a gadwo ei air ef, yn wir [f] yn hwn y mae cariad Duw yn berffaith. [g] Wrth hyn y gwyddom ein bod ynddo ef.

6 Yr hwn a ddywaid ei fod yn aros ynddo ef, [h] a ddylai yntau felly rodio, megis ag y rhodiodd ef.

7 Y brodyr, [i] nid gorchymyn newydd yr wyf yn ei 'sgrifenu attoch, eithr gorchymyn hen [k] yr hwn oedd gennych o'r dechreuad. Yr hen orchymyn yw'r gair a glywsoch o'r dechreuad.

8 Trachefn, [l] gorchymyn newydd yr wyf yn ei 'sgrifenu attoch, yr hyn sydd wir ynddo ef, ac ynoch chwithau: [m] oblegid y tywyllwch ‡ a aeth heibio, [n] a'r gwir oleuni sydd yr awrhon yn tywynnu.

9 [o] Yr hwn a ddywaid ei fod yn y goleuni, ac a gasao ei frawd, yn y tywyllwch y mae hyd y pryd hwn.

10 [p] Yr hwn sydd yn caru ei frawd, sydd yn aros yn y goleuni, ac [q] nid oes rhwystr ynddo.

11 Eithr yr hwn sydd yn casâu ei frawd, yn y tywyllwch y mae, ac [r] yn y tywyllwch y mae yn rhodio; ac ni ŵyr i ba le y mae yn myned, oblegid y mae y tywyllwch wedi dallu ei lygaid ef.

12 Ysgrifenu yr wyf attoch chwi, blant bychain, oblegid [s] maddeu i chwi eich pechodau er mwyn ei enw ef.

13 Ysgrifenu yr wyf attoch chwi, dadau, am adnabod o honoch yr hwn sydd o'r dechreuad. Ysgrifenu yr wyf attoch chwi, wŷr ieuaingc, am orchfygu o honoch yr un drwg. Ysgrifenu yr wyf attoch chwi, rai bychain, am i chwi adnabod y Tad.

14 Ysgrifenais attoch chwi, dadau, am adnabod o honoch yr hwn sydd o'r dechreuad. Ysgrifenais attoch chwi, wŷr ieuaingc, am [t] eich bod yn gryfion, a bod gair Duw yn aros ynoch, a gorchfygu o honoch yr un drwg.

15 Na cherwch y byd, na'r pethau sy yn y byd. [u] O châr neb y byd, nid yw cariad y Tad ynddo ef.

16 Canys pob peth a'r sydd yn y byd, *megis* chwant y cnawd, a chwant y llygaid, a balchder y bywyd, nid yw o'r Tad, eithr o'r byd y mae.

17 [x] A'r byd sydd yn myned heibio, a'i chwant hefyd: ond yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys Duw, sydd yn aros yn dragywydd.

18 O blant bychain, [y] yr awr ddiweddaf ydyw: ac megis y clywsoch [z] y daw anghrist, yr awrhon hefyd y mae anghristiau lawer; wrth yr hyn y gwyddom mai yr awr ddiweddaf ydyw.

19 [a] Oddi wrthym ni yr aethant hwy allan, eithr nid oeddynt o honom ni: canys [b] pe buasent o honom ni, hwy a arhosasent gyd â ni: eithr *hyn a fu,* [c] fel yr eglurid nad ydynt hwy oll o honom ni.

20 Eithr [d] y mae gennych chwi enneiniad oddi wrth y Sanctaidd hwnnw, a [e] chwi a wyddoch bob peth.

21 Ni 'sgrifenais attoch oblegid na wyddech y gwirionedd, eithr oblegid eich bod yn ei wybod, ac nad oes un celwydd o'r gwirionedd.

22 [f] Pwy yw'r celwyddog, ond yr hwn sydd yn gwadu nad Iesu yw'r Crist? Efe yw'r anghrist, yr hwn sydd yn gwadu y Tad a'r Mab.

[a] Rhuf. 8. 34. 1 Tim. 2. 5. Heb. 7. 25. a 9. 24. [b] Rhuf. 3. 25. 2 Cor. 5. 18. Pen. 4. 10. † *cymmod.* [c] Ioan 4. 42. Pen. 4. 14. [d] Pen. 1. 6. a 4. 20. [e] Ioan 14. 21, 23. [f] Pen. 4. 12. [g] Pen. 4. 13. [h] Mat. 11. 29. Ioan 13. 15. 1 Petr 2. 21. [i] 2 Ioan 5. [k] Pen. 3. 11. 2 Ioan 5. [l] Ioan 13. 34. [m] Rhuf. 13. 12. 1 Thess. 5. 5, 8. ‡ *sydd yn myned.* [n] Ioan 1. 9. a 8. 12. [o] 1 Cor. 13. 2. 2 Petr 1. 9. Pen. 3. 14, 15. [p] Pen. 3. 14. [q] 2 Petr 1. 10. [r] Ioan 12. 35. [s] Luc 24. 47. Act. 4. 12. a 13. 38. [t] Eph. 6. 10. [u] Mat. 6. 24. Iago 4. 4. [x] 1 Cor. 7. 31. Iago 1. 10. [y] Heb. 1. 2. [z] 2 Thess. 2. 3, &c. Pen. 4. 3. [a] Deut. 13. 13. Psal. 41. 9. Act. 20. 30. [b] Mat. 24. 24. Ioan 6. 37. a 10. 28, 29. [c] 1 Cor. 11. 19. [d] 2 Cor. 1. 21. Heb. 1. 9. [e] Ioan 10. 4, 5. a 14. 26. a 16. 13. Act. 27. [f] Pen. 4. 3. 2 Ioan 7.

23 [g] Pob un a'r sydd yn gwadu'r Mab, nid oes ganddo y Tad chwaith: [*ond*] [h] *yr hwn sydd yn cyffesu'r Mab, y mae'r Tad ganddo hefyd.*

24 Arhosed gan hynny ynoch chwi [i] yr hyn a glywsoch o'r dechreuad. Od erys ynoch yr hyn a glywsoch o'r dechreuad, chwithau hefyd a gewch aros yn y Mab ac yn y Tad.

25 A hwn yw'r addewid a addawodd efe i ni, *sef* bywyd tragywyddol.

26 Y pethau hyn a 'sgrifenais attoch ynghylch y rhai sy yn eich hudo.

27 Ond y mae'r [k] enneiniad a dderbyniasoch ganddo ef, yn aros ynoch chwi, ac [l] nid oes arnoch eisiau dysgu o neb chwi: eithr fel y mae yr un enneiniad [m] yn eich dysgu chwi am bob peth, a gwir yw, ac nid yw gelwydd; ac megis y'ch dysgodd chwi, yr arhoswch † ynddo.

28 Ac yr awrhon, blant bychain, arhoswch ynddo; fel, [n] pan ymddangoso efe, y byddo hyder gennym, ac ‡ na chywilyddiom ger ei fron ef yn ei ddyfodiad.

29 Os gwyddoch ei fod ef yn gyfiawn, § chwi a wyddoch fod [o] pob un a'r sydd yn gwneuthur cyfiawnder, wedi ei eni o hono ef.

[g] Ioan 15. 23. [g] Ioan 9. [h] Ioan 14. 7, 9, 10. Pen. 4. 15. [i] 2 Ioan 6. [k] Adn. 20. [l] Jer. 31. 33, 34. Heb. 8. 10, 11. [m] Ioan 14. 26. a 16. 13. Mat. 13. 11. † *ynddo ef.* [n] Pen. 3. 2. ‡ *na'n cywilyddier ganddo.* § *gwybyddwch.* [o] Pen. 3. 7, 10.

## PEN. III.

1 *Y mae efe yn dangos rhagorol gariad Duw tu ag attom ni, yn ein gwneuthur ni yn blant iddo ei hun;* 3 *ac am hynny y byddai raid i ninnau fod yn ufudd i gadw ei orchymynion;* 11 *a charu bawb ein gilydd, fel brodyr.*

Gwedi 90.

GWELWCH pa fath gariad a roes y Tad † arnom, fel [a] y'n gelwid yn feibion i Dduw: oblegid hyn nid edwyn y byd chwi, [b] oblegid nad adnabu efe ef.

2 Anwylyd, [c] yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac [d] nid amlygwyd etto beth a fyddwn: eithr ni a wyddom, pan ymddangoso efe, [e] y byddwn gyffelyb iddo; oblegid [f] ni a gawn ei weled ef megis ag y mae.

3 Ac y mae pob un sydd ganddo y gobaith hwn ynddo ef, yn ei buro ei hun, megis y mae yntau yn bur.

4 Pob un a'r sydd yn gwneuthur pechod, sydd hefyd yn gwneuthur anghyfraith: ‡ oblegid [g] anghyfraith yw pechod.

5 A chwi a wyddoch [h] ymddangos o hono ef, fel y dileai ein pechodau ni: ac [i] ynddo ef nid oes pechod.

6 Pob un a'r sydd yn aros ynddo ef, nid yw yn pechu: [k] pob un a'r sydd yn pechu, ni's gwelodd ef, ac ni's adnabu ef.

7 O blant bychain, na thwylled neb chwi. [l] Yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder, sydd gyfiawn, megis y mae yntau yn gyfiawn:

8 [m] Yr hwn sydd yn gwneuthur pechod, o ddiafol y mae; canys y mae diafol yn pechu o'r dechreuad. I hyn yr ymddangosodd Mab Duw, fel y dattodai weithredoedd diafol.

9 [n] Pob un a aned o Dduw, nid yw yn gwneuthur pechod; oblegid [o] y mae ei had ef yn aros ynddo ef, ac ni all efe bechu, am ei eni ef o Dduw.

10 Yn hyn y mae yn amlwg plant Duw, a phlant diafol: Pob un a'r sy heb wneuthur cyfiawnder, nid yw o Dduw, [p] na'r hwn nid yw yn caru ei frawd.

11 Oblegid [q] § hon yw'r gennadwri a glywsoch o'r dechreuad; [r] Bod i ni garu ein gilydd.

12 Nid fel [s] Cain, *yr hwn* oedd o'r drwg, ac a laddodd ei frawd. A phaham y lladdodd ef? Oblegid bod ei weithredoedd ef yn ddrwg, a'r eiddo ei frawd yn dda.

13 Na ryfeddwch, fy mrodyr, os [t] yw'r byd yn eich casâu chwi.

14 [u] Nyni a wyddom ddarfod ein symmud ni o farwolaeth i fywyd, oblegid ein bod yn caru'r brodyr. [x] Yr hwn nid yw yn caru ei frawd, y mae yn aros ym marwolaeth.

15 [y] Pob un a'r sydd yn casâu ei frawd, lleiddiad dyn yw: a chwi a wyddoch nad oes i [z] un lleiddiad dyn fywyd tragywyddol yn aros ynddo.

16 [a] Yn hyn yr adnabuom gariad Duw, oblegid dodi o hono ef ei einioes drosom ni: a ninnau a ddylem ddodi *ein* heinioes dros y brodyr.

17 Eithr [b] yr hwn sydd ganddo ddâ'r byd hwn, ac a welo ei frawd mewn eisiau, ac a gauo ei ‖ dosturi oddi wrtho; [c] pa fodd y mae cariad Duw yn aros ynddo ef?

18 Fy mhlant bychain, [d] na charwn ar air, nac ar dafod *yn unig*, eithr mewn gweithred a gwirionedd.

19 Ac † wrth hyn y gwyddom ein [e] bod o'r gwirionedd, ac y ‡ sicrhawn ein calonnau ger ei fron ef.

20 Oblegid os ein calon a'n condemnia, mwy yw Duw nâ'n calon, ac efe a ŵyr bob peth.

21 Anwylyd, os ein calon ni'n condemnia, [f] y mae gennym hyder ar Dduw.

22 A [g] pha beth bynnag a ofynom, yr ydym yn ei dderbyn ganddo ef; oblegid ein bod yn cadw ei orchymynion ef, ac yn gwneuthur y pethau sydd yn rhyngu bodd yn ei olwg ef.

23 A [h] hwn yw ei orchymyn ef; Gredu o honom § yn enw ei Fab ef Iesu Grist, a [i] charu ein gilydd, megis y rhoes efe orchymyn i ni.

24 [k] A'r hwn sydd yn cadw ei orchymynion ef, sydd yn trigo ynddo ef, ac yntau ynddo yntau. Ac [l] ‖ wrth hyn y gwyddom ei fod ef yn aros ynom, *sef* o'r Ysbryd a roddes efe i ni.

† *i ni.* [a] Ioan 1. 12. [b] Ioan 15. 18, 19. a 16. 3. a 17. 25. [c] Esay 56. 5. Rhuf. 8. 15. Gal. 3. 26. a 4. 6. [d] Rhuf. 8. 18. 2 Cor. 4. 17. [e] Rhuf. 8. 29. 1 Cor. 15. 49. Phil. 3. 21. Col. 3. 4. [f] Psal. 16. 11. 1 Cor. 13. 12. 2 Cor. 5. 7. ‡ *ac.* [g] Rhuf. 4. 15. Pen. 5. 17. [h] Esay 53. 6, &c. 1 Tim. 1. 15. [i] 2 Cor. 5. 21. Heb. 9. 28. 1 Petr 2. 22. [k] Pen. 2. 4. a 4. 8. 3 Ioan 11. [l] Pen. 2. 29. [m] Mat. 13. 38. Ioan 8. 44. [n] Pen. 5. 18. [o] 1 Petr 1. 23. [p] Pen. 4. 8. [q] Pen. 1. 5. a 2. 7. § *hwn yw'r gorchymyn.* [r] Ioan 13. 34. a 15. 12. Adn. 23. [s] Gen. 4. 8. Judas 11. [t] Ioan 15. 18. [u] Pen. 2. 10. [x] Pen. 2. 9, 11. [y] Mat. 5. 21, 22. [z] Gal. 5. 21. [a] Ioan 3. 16. a 15. 13. Rhuf. 5. 8. Eph. 5. 2. Pen. 4. 9. [b] Deut. 15. 7. Luc 3. 11. ‖ *ymysgaroedd.* [c] Pen. 4. 20. [d] Ezec. 33. 31. Rhuf. 12. 9. Eph. 4. 15. Iago 2. 15. † *yn.* [e] Ioan 18. 37. Pen. 1. 8. ‡ *Gr. perswadiwn.* [f] Heb. 10. 22. Pen. 4. 17. [g] Marc 7. 7. Ioan 14. 13. a 15. 7. a 16. 23. Iago 5. 16. Pen. 5. 14. [h] Ioan 6. 29. a 17. 3. § *i.* [i] Adn. 11. Pen. 4. 21. [k] Ioan 14. 23. a 15. 10. Pen. 4. 12. [l] Rhuf. 8. 9. Pen. 4. 13. ‖ *yn.*

## PEN. IV.

1 *Y mae efe yn eu rhybuddio hwynt na wnaent goel ar bob athraw sydd yn ymffrostio o'r Ysbryd, eithr eu profi hwy yn hytrach trwy reolau y ffydd gatholig.* 7 *Ac y mae efe trwy amryw resymmau yn eu hannog hwy i gariad brawdol.*

Gwedi 90.

ANWYLYD, [a] na chredwch bob ysbryd, eithr [b] profwch yr ysprydion ai o Dduw y maent: oblegid [c] y mae gau-brophwydi lawer wedi myned allan i'r byd.

2 † Wrth hyn adnabyddwch Ysbryd Duw: [d] Pob ysbryd a'r sydd yn cyffesu ddyfod Iesu Grist yn y cnawd, o Dduw y mae.

3 A [e] phob ysbryd a'r nid yw yn cyffesu ddyfod Iesu Grist yn y cnawd, nid yw o Dduw. Eithr hwn yw *ysbryd* anghrist, yr hwn y clywsoch ei fod yn dyfod, [f] a'r awrhon y mae *efe* yn y byd eisoes.

[a] Jer. 29. 8. Mat. 24. 4. [b] 1 Thes. 5. 21. Dat. 2. 2. [c] Mat. 24. 5, 24. 1 Tim. 4. 1. 2 Petr 2. 1. 2 Ioan 7. † *Yn.* [d] 1 Cor. 12. 3. Pen. 5. 1. [e] Pen. 2. 22. 2 Ioan 7. [f] 2 Thes. 2. 7. Pen. 2. 18, 22.

4 Chwychwi ydych o Dduw, blant bych-
ain, ac a'u gorchfygasoch hwy: oblegid mwy
yw'r hwn sydd ynoch chwi nâ'r [g] hwn sydd
yn y byd.
5 [h] Hwynt-hwy o'r byd y maent: am
hynny y llefarant am y byd, [i] a'r byd a
wrendy arnynt.
6 Nyni o Dduw yr ydym. [k] Yr hwn sydd
yn adnabod Duw, sydd yn ein gwrando ni:
yr hwn nid yw o Dduw, nid yw yn ein
gwrando ni. [l] Wrth hyn yr adwaenom ys-
pryd y gwirionedd ac yspryd y cyfeiliorni.
7 Anwylyd, carwn ein gilydd: oblegid
cariad, o Dduw y mae; a phob un a'r sydd
yn caru, o Dduw y ganwyd ef, ac y mae
efe yn adnabod Duw.
8 Yr hwn nid yw yn caru, [m] nid adnabu
Dduw: oblegid [n] Duw, cariad yw.
9 [o] Yn hyn yr eglurwyd cariad Duw tu
ag attom ni, oblegid danfon o Dduw ei
unig-anedig Fab i'r byd, fel y byddem fyw
trwyddo ef.
10 Yn hyn y mae cariad; [p] nid am i ni
garu Duw, ond am iddo ef ein caru ni, ac an-
fon ei Fab [q] *i fod* yn † iawn dros ein pecho-
dau.
11 Anwylyd, [r] os felly y carodd Duw ni,
ninnau hefyd a ddylem garu ein gilydd.
12 [s] Ni welodd neb Dduw erioed. Os carwn
ni ein gilydd, y mae Duw yn trigo ynom, ac
[t] y mae ei gariad ef yn berffaith ynom.
13 ‡ [u] Wrth hyn y gwyddom ein bod yn
trigo ynddo ef, ac yntau ynom ninnau, am
ddarfod iddo roddi i ni o'i Yspryd.
14 A [x] ninnau a welsom, ac ydym yn ty-
stiolaethu, ddarfod i'r Tad ddanfon y Mab
*i fod* yn Iachawdwr i'r byd.
15 Pwy bynnag a gyffeso fod Iesu yn Fab
Duw, y mae Duw yn aros ynddo ef, ac yn-
tau yn Nuw.
16 A nyni a adnabuom ac a gredasom y
cariad sydd gan Dduw § tu ag attom ni.
[y] Duw, cariad yw: [z] a'r hwn sydd yn aros
mewn cariad, sydd yn aros yn Nuw, a Duw
ynddo yntau.
17 Yn hyn y perffeithiwyd ‖ ein cariad
ni, fel [a] y caffom hyder ddydd y farn: oble-
gid megis ag y mae efe, yr ydym ninnau
hefyd yn y byd hwn.
18 Nid oes ofn mewn cariad; eithr y mae
perffaith gariad yn bwrw allan ofn: oblegid
y mae i ofn boenedigaeth. *A*'r hwn sydd yn
ofni, ni pherffeithiwyd mewn cariad.
19 Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef
yn gyntaf ein caru ni.
20 [b] Os dywaid neb, Yr wyf yn caru
Duw, ac efe yn casâu ei frawd, celwyddog
yw: canys yr hwn nid yw yn caru ei frawd
yr hwn a welodd, pa fodd y gall efe garu
Duw yr hwn ni's gwelodd?
21 A'r [c] gorchymyn hwn sydd gennym
oddi wrtho ef; Bod i'r hwn sydd yn caru
Duw, garu ei frawd hefyd.

[g] Ioan 12. 31. 1 Cor. 2. 12. Eph. 2. 2. a 6. 12.
[h] Ioan 3. 31.
[i] Ioan 15. 19.
[k] Ioan 8. 47. a 10. 27. 1 Cor. 14. 37. 2 Cor. 10. 7.
[l] Esay 8. 27. Ioan 14. 17.
[m] Pen. 2. 4. a 3. 6.
[n] Adn. 16.
[o] Ioan 3. 16. Pen. 3. 16.
[p] Ioan 15. 16. Rhuf. 5. 8, 10.
[q] Pen. 2. 2.
† *gymmod.*
[r] Mat. 18. 33. Ioan 15. 12, 13.
[s] Ioan 1. 18. 1 Tim. 6. 16.
[t] Pen. 2. 5. Adn. 18.
‡ *Yn.*
[u] Pen. 3. 24.
[x] Pen. 1. 1.
§ *ynom ni.*
[y] Adn. 8.
[z] Adn. 12.
‖ Gr. *cariad gyd â nyni.*
[a] Iago 2. 13. Pen. 2. 28. a 3. 19, 21.
[b] Pen. 2. 4. a 3. 17.
[c] Mat. 22. 37, 39. Ioan 13. 34. a 15. 12. Pen. 3. 11, 23.

## PEN. V.

1 *Y neb sydd yn caru Duw, sydd yn caru ei blant ef hefyd, ac yn cadw ei orchymynion ef,* 3 *y rhai sydd ysgafn, ac nid trymion i'r ffyddloniaid.* 9 *Y mae Iesu yn Fab Duw, ac yn abl i'n hachub ni;* 14 *ac i wrando ein gweddïau, y rhai yr ydym yn eu gwneuthur drosom ein hunain, a thros eraill.*

Gwedi 90.

[a] POB un a'r sydd yn credu mai [b] Iesu
yw'r Crist, o Dduw y [c] ganed ef: a
phob un a'r sydd yn caru yr hwn a genhed-
lodd, sydd yn caru hefyd yr hwn a genhedl-
wyd o hono.
2 Yn [d] hyn y gwyddom ein bod yn caru
plant Duw, pan fyddom yn caru Duw, ac
yn cadw ei orchymynion ef.
3 Canys hyn yw cariad Duw; bod i ni
gadw ei orchymynion: [e] a'i orchymynion ef
nid ydynt drymion.
4 Oblegid [f] beth bynnag a aned o Dduw,
y mae yn gorchfygu'r byd: a hon yw'r or-
uchafiaeth sydd yn gorchfygu'r byd, *sef* ein
ffydd ni.
5 Pwy yw'r hwn sydd yn gorchfygu'r
byd, ond [g] yr hwn sydd yn credu mai Iesu
yw Mab Duw?
6 Dyma yr hwn a ddaeth trwy ddwfr a
gwaed, *sef* Iesu Grist; nid trwy ddwfr yn
unig, ond trwy ddwfr a gwaed. A'r Yspryd
yw'r hwn sydd yn tystiolaethu, oblegid yr
Yspryd sydd wirionedd.
7 Oblegid y mae tri yn tystiolaethu yn y
nef; y Tad, [h] y Gair, a'r Yspryd Glân: a'r
tri hyn un ydynt.
8 Ac y mae tri yn tystiolaethu ar y ddae-
ar; yr yspryd, y dwfr, a'r gwaed: a'r tri
hyn yn un y maent *yn cytuno.*
9 Os [i] tystiolaeth dynion yr ydym yn ei
dderbyn, y mae tystiolaeth Duw yn fwy: ca-
nys hyn yw tystiolaeth Duw, yr hon a dyst-
iolaethodd efe am ei Fab.
10 Yr hwn sydd yn credu ym Mab Duw,
[k] sydd ganddo y dystiolaeth ynddo ei hun:
yr hwn nid yw yn credu yn Nuw, [l] a'i
gwnaeth ef yn gelwyddog, oblegid na chre-
dodd y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw
am ei Fab.
11 A hon yw'r dystiolaeth; roddi o Dduw
i ni fywyd tragywyddol: [m] a'r bywyd hwn
sydd yn ei Fab ef.
12 [n] Yr hwn y mae y Mab ganddo, y
mae y bywyd ganddo; a'r hwn nid yw
ganddo Fab Duw, nid oes ganddo fywyd.
13 [o] Y pethau hyn a 'sgrifenais attoch
chwi, y rhai ydych yn credu yn enw Mab
Duw; fel y gwypoch fod i chwi fywyd tra-
gywyddol, ac fel y credoch yn enw Mab
Duw.
14 A hyn yw'r hyfder sydd gennym † tu
ag atto ef; ei fod ef yn ein gwrando ni, [p] os
gofynwn ddim yn ol ei ewyllys ef.
15 Ac os gwyddom ei fod ef yn ein gwran-
do ni, pa *beth* bynnag a ddeisyfiom, ni a
wyddom ein bod yn cael y deisyfiadau a
ddeisyfiasom ganddo.
16 Os gwel neb ei frawd yn pechu pech-
od nid *yw* i farwolaeth, efe a ddeisyf, ac
[q] efe a rydd iddo fywyd, i'r rhai sy'n pechu
nid i farwolaeth. [r] Y mae pechod i farw-
olaeth: nid am hwnnw yr wyf yn dywedyd
ar ddeisyf o hono.
17 [s] Pob anghyfiawnder, pechod yw: ac
y mae pechod nid *yw* i farwolaeth.
18 Ni a wyddom nad yw'r [t] neb a aned
o Dduw, yn pechu; eithr y mae'r hwn a
aned o Dduw, yn ei gadw ei hun, a'r drwg
hwnnw nid yw yn cyffwrdd ag ef.
19 Ni a wyddom ein bod o Dduw, ac y
mae yr holl fyd yn gorwedd mewn drygioni.
20 Ac a wyddom ddyfod Mab Duw, ac
efe [u] a roes i ni feddwl, fel yr adnabyddom
yr hwn sydd gywir. Ac yr ydym yn y Cy-
wir hwnnw, *sef* yn ei Fab ef Iesu Grist.
[x] Hwn yw y gwir Dduw, a'r bywyd tragy-
wyddol.
21 Y plant bychain, [y] ymgedwch oddi
wrth eilunod. Amen.

[a] Ioan 1. 12.
[b] Pen. 2. 22, 23. a 4. 2, 15.
[c] Ioan 1. 13.
[d] Ioan 14. 15, 21, 23. 2 Ioan 6.
[e] Mat. 11. 30.
[f] Pen. 3. 9. a 4. 4.
[g] 1 Cor. 15. 57. Pen. 4. 15.
[h] Ioan 1. 1.
[i] Ioan 8. 17, 18.
[k] Rhuf. 8. 16. Gal. 4. 6.
[l] Ioan 3. 33. a 5. 38.
[m] Ioan 1. 4.
[n] Ioan 3. 36. a 5. 24.
[o] Ioan 20. 31.
† *ynddo ef.*
[p] Pen. 3. 22.
[q] Iago 5. 14, 15.
[r] Mat. 12. 31, 32. Marc 3. 29. Heb. 6. 4. a 10. 26.
[s] Pen. 3. 4.
[t] 1 Petr 1. 23. Pen. 3. 9.
[u] Luc 24. 45.
[x] Esay 9. 6. a 44. 6. a 54. 5. Ioan 20. 28. Rhuf. 9. 5. 1 Tim. 3. 16. Tit. 2. 13.
[y] 1 Cor. 10. 14.

# ¶ Ail Epistol cyffredinol IOAN yr Apostol.

*Y mae efe yn annog rhyw arglwyddes urddasol a'i phlant, i barhâu mewn cariad a ffydd Grist, 8 rhag iddynt golli gwobr eu proffes o'r blaen: 10 ac na byddai iddynt a unelent â'r twyllwŷr nid oedd yn dysgu gwir athrawiaeth Crist Iesu.*

YR henuriad at yr etholedig arglwyddes,
a'i phlant, [a] y rhai yr wyf fi yn eu
caru yn y gwirionedd; ac nid myfi yn
unig, ond pawb hefyd a adnabuant y gwi-
rionedd;
2 Er mwyn y gwirionedd, yr hwn sydd
yn aros ynom ni, ac a fydd gyd â ni yn
dragywydd.
3 † Bydded gyd â chwi ras, trugaredd, *a*
thangnefedd, oddi wrth Dduw Dad, ac oddi
wrth yr Arglwydd Iesu Grist, Mab y Tad,
mewn gwirionedd a chariad.
4 Bu lawen iawn gennyf i mi gael o'th
blant di *rai* [b] yn rhodio mewn gwirionedd,
fel y derbyniasom orchymyn gan y Tad.
5 Ac yn awr yr wyf yn attolwg i ti, ar-
glwyddes, [c] nid fel *un* yn ysgrifenu gorchy-
myn newydd i ti, eithr yr hwn oedd gen-
nym o'r dechreuad, [d] garu o honom ein gi-
lydd.
6 A [e] hyn yw'r cariad; bod i ni rodio yn
ol ei orchymynion ef. Hwn yw'r gorchy-
myn; [f] Megis y clywsoch o'r dechreuad, fod
i chwi rodio ynddo.
7 Oblegid y mae twyllwŷr [g] lawer wedi
dyfod i mewn i'r byd, [h] y rhai nid ydynt
yn cyffesu ddyfod Iesu Grist yn y cnawd.
[i] Hwn yw'r twyllwr a'r anghrist.
8 Edrychwch arnoch eich hunain, [k] fel na
chollom y pethau a ‡ wnaethom, ond bod i
ni dderbyn llawn wobr.
9 [l] Pob un a'r sy yn troseddu, ac heb aros
yn nysgeidiaeth Crist, nid yw Duw ganddo
ef. Yr hwn sydd yn aros yn nysgeidiaeth
Crist, hwnnw y mae'r Tad a'r Mab ganddo.
10 Od oes neb yn dyfod attoch, ac heb
ddwyn y ddysgeidiaeth hon, na dderbyn-
iwch ef i dŷ, ac [m] na ddywedwch, Duw yn
rhwydd, wrtho.
11 Canys yr hwn sydd yn dywedyd wrtho,
Duw yn rhwydd, sydd gyfrannog o'i weith-
redoedd drwg ef.
12 [n] Er bod gennyf lawer o bethau i'w
hysgrifenu attoch, nid oeddwn yn ewyllysio
'*sgrifenu* â phapir ac ingc: eithr gobeithio 'r
ydwyf ddyfod attoch, a llefaru § wyneb yn
wyneb, [o] fel y byddo ein llawenydd yn gyf-
lawn.
13 Y mae plant dy chwaer etholedig yn
dy annerch. Amen.

Bl. yr Argl. gwedi 90.
[a] 1 Ioan 3. 18. Adn. 3. 3 Ioan 1.
† Gr. *Gras a fydd gyd â chwi.*
[b] 3 Ioan 3.
[c] 1 Ioan 2. 7, 8. a 3. 11.
[d] Ioan 13. 34. a 15. 12. Eph. 5. 2. 1 Petr 4. 8. 1 Ioan 3. 23.
[e] Ioan 15. 10. 1 Ioan 5. 3.
[f] Ioan 2. 24.
[g] 1 Ioan 4. 1.
[h] 1 Ioan 4. 2, 3.
[i] 1 Ioan 2. 22. a 4. 3.
[k] Gal. 3. 4. Heb. 10. 32.
‡ *ynnillasom.*
[l] 1 Ioan 2. 23.
[m] Rhuf. 16. 17. 1 Cor. 5. 11. a 16. 22. Gal. 1. 8, 9. 2 Tim. 3. 5. Tit. 3. 10.
[n] 3 Ioan 13.
§ Gr. *enau wrth enau.*
[o] Ioan 17. 13. 1 Ioan 1. 4.

# ¶ Trydydd Epistol cyffredinol IOAN yr Apostol.

1 *Y mae efe yn canmol Gaius am ei dduwioldeb, 5 ac am groesawu pregethwŷr. 9 Y mae efe yn achwyn rhag angharedigrwydd ac uchder Diotrephes, 11 yr hwn ni ddylid dilyn ei ddrwg esampl. 12 Y mae efe yn rhoi canmoliaeth mawr i Ddemetrius.*

YR henuriad at yr anwyl Gaius, [a] yr
hwn yr wyf yn ei garu † mewn gwi-
rionedd.
2 *Yr* anwylyd, yr ydwyf yn bennaf dim
yn ‡ dymuno dy fod yn llwyddo ac yn iach,
fel y mae dy enaid yn llwyddo.
3 Canys mi a lawenychais yn fawr, pan
ddaeth y brodyr, a thystiolaethu am dy wir-
ionedd di, megis ag [b] yr ydwyt yn rhodio
mewn gwirionedd.
4 Mwy llawenydd nâ hyn nid oes gennyf,
sef cael clywed bod [c] fy mhlant yn rhodio
mewn gwirionedd.
5 *Yr* anwylyd, yr ydwyt yn gwneuthur
yn ffyddlon yr hyn yr ydwyt yn ei wneu-
thur, tu ag at y brodyr, a thu ag at ddï-
eithriaid;
6 Y rhai a dystiolaethasant am dy gariad
di ger bron yr eglwys. y rhai os hebryngi
fel y gweddai i Dduw, da y gwnai.
7 Canys er mwyn ei enw yr aethant allan
heb gymmeryd dim gan y Cenhedloedd.
8 Ni a ddylem gan hynny dderbyn y cyf-
ryw rai, fel y byddom § gyd-gynnorthwywŷr
i'r gwirionedd.
9 Mi a 'sgrifenais at yr eglwys: eithr
Dïotrephes, yr hwn sydd yn chwennych y
blaen yn eu plith hwy, ni dderbyn ddim o
honom.
10 O herwydd hyn, os deuaf, mi a ddyg-
af ar gof ei weithredoedd y mae efe yn eu
gwneuthur, gan wag-siarad i'n herbyn â gei-
riau drygionus: ac heb fod yn foddlon
ar hynny, nid yw efe ei hun yn derbyn y
brodyr; a'r rhai sy yn ewyllysio, y mae yn
eu gwahardd, ac yn *eu* bwrw allan o'r egl-
wys.
11 Anwylyd, [d] na ddilyn yr hyn sydd
ddrwg, ond yr hyn sydd dda. [e] Yr hwn
sydd yn gwneuthur daioni, o Dduw y mae:
ond yr hwn sydd yn gwneuthur drygioni,
ni welodd Dduw.
12 Y mae i Ddemetrius air da gan bawb,
a chan y gwirionedd ei hun: a ninnau
*hefyd ein hunain* ydym yn tystiolaethu; a
chwi a wyddoch fod ein tystiolaeth ni yn
wir.
13 [f] Yr oedd gennyf lawer o bethau i'w
hysgrifenu, ond nid wyf yn chwennych ys-
grifenu ag ingc a phin attat ti:
14 Eithr gobeithio yr ydwyf gael dy wel-
ed ar fyrder, ac ni a ymddiddanwn ‖ wyneb
yn wyneb.
15 Tangnefedd i ti. Y mae y cyfeillion
i'th annerch. Annerch y cyfeillion wrth eu
henwau.

Bl. yr Argl. gwedi 90.
[a] 2 Ioan 1.
† Neu, *yn gywir.*
‡ *gweddïo.*
[b] 2 Ioan 4.
[c] 1 Cor. 4. 15. Philem. 10.
§ *cyd-weithwŷr*
[d] Psal. 37. 27. Esay 1. 16. 1 Petr 3. 11.
[e] 1 Ioan 3. 6, 9.
[f] 2 Ioan 12.
‖ Gr. *enau wrth enau.*

# ¶ Epistol cyffredinol JUDAS yr Apostol.

*Y mae yn eu hannog i broffesu ffydd Grist yn ddianwadal: 4 bod gau-athrawon wedi ymlusgo i mewn i'w hudo hwynt; a bod dialedd creulon wedi ei ddarparu i'w hathrawiaeth a'u cynheddfau melldigedig hwynt: 20 ond bod y rhai duwiol, trwy gynhorthwy yr Yspryd Glan, a thrwy weddïo ar Dduw, yn abl i barhâu, ac i gynnyddu mewn gras; ac i'w cadw eu hunain, ac i achub eraill rhag maglau y twyllwŷr hynny.*

Bl. yr Argl. cylch. 66.

JUDAS, gwasanaethwr Iesu Grist, a
[a] brawd Iago, at y rhai a sancteiddiwyd
gan Dduw Dad, ac [b] a gadwyd † yn Iesu
Grist, *ac* a alwyd:
2 Trugaredd i chwi, a thangnefedd, a
chariad a liosoger.
3 Anwylyd, pan roddais bob diwydrwydd ar 'sgrifenu attoch am yr iachawdwriaeth gyffredinol, anghenrhaid oedd i
mi 'sgrifenu attoch, gan eich annog [c] i ymdrech ym mhlaid y ffydd, yr hon a rodded
unwaith i'r saint.
4 Canys y mae rhyw ddynion wedi ymlusgo i mewn, [d] y rhai a rag-ordeiniwyd er ys talm i'r farnedigaeth hon; annuwiolion,
[e] yn troi gras ein Duw ni i drythyllwch, ac
[f] yn gwadu ‡ yr unig Arglwydd Dduw, a'n
Harglwydd Iesu Grist.
5 Ewyllysio gan hynny yr ydwyf eich
coffâu chwi, gan eich bod unwaith yn gwybod hyn; i'r Arglwydd, wedi iddo waredu
y bobl o dir yr Aipht, [g] ddistrywio eilwaith
y rhai ni chredasant.
6 [h] Yr angylion hefyd y rhai ni chadwasant eu § dechreuad, eithr a adawsant eu
trigfa eu hun, [i] a gadwodd efe mewn cadwynau tragywyddol dan dywyllwch, i farn
y dydd mawr.
7 Megis y mae [k] Sodom a Gomorrah,
a'r dinasoedd o'u hamgylch mewn cyffelyb fodd â hwynt, wedi putteinio, a myned
ar ol cnawd ‖ arall, wedi eu gosod yn
esampl, gan ddïoddef dïaledd tân tragywyddol.
8 [l] Yr un ffunud hefyd y mae y † breuddwydwŷr hyn yn halogi'r cnawd, yn dïystyru ‡ llywodraeth, ac [m] yn cablu y rhai sy
mewn § awdurdod.
9 Eithr [n] Michael yr arch-angel, pan oedd
efe, wrth ymddadleu â diafol, yn ymresymmu ynghylch corph Moses, [o] ni feiddiodd
ddwyn barn ‖ gablaidd arno, eithr *efe*
a ddywedodd, [p] Cerydded yr Arglwydd
dydi.
10 [q] Eithr y rhai hyn sydd yn cablu y
pethau ni's gwyddant: a pha bethau bynnag y maent yn anianol, fel anifeiliaid

[a] Luc 6. 16. Act. 1. 13. [b] Ioan 17. 11, 12, 15. 1 Petr 1. 5. † *i Iesu Grist.* [c] Phil. 1. 27. 1 Tim. 1. 18. a 6. 12. 2 Tim. 4. 7. [d] Rhuf. 9. 21, 22. 1 Petr 2. 8. [e] 2 Petr 2. 19. [f] Tit. 1. 16. 2 Petr 2. 1. ‡ *yr unig Dduw ac Arglwydd, ein Harglwydd Iesu Grist.* [g] Num. 14. 29, 37. a 26. 64. Heb. 3. 17, 19. [h] Ioan 8. 44. § *oruchafiaeth.* [i] 2 Petr 2. 4. [k] Gen. 19. 24. Deut. 29. 23. 2 Petr 2. 6. ‖ *dieithr.* [l] 2 Petr 2. 10, 11. † *y rhai hyn trwy eu hun.* ‡ *arglwyddiaeth.*

[m] Exod. 22. 28. § *urddas.* [n] Dan. 10. 13. a 12. 1. Dat. 12. 7
[o] 2 Petr 2. 11. ‖ *cabledd.* [p] Zech. 3. 2. [q] 2 Petr 2. 12.

direswm, yn *eu* gwybod, yn y rhai hynny
ymlygru y maent.
11 Gwae hwynt-hwy: oblegid hwy a
gerddasant yn ffordd [r] Cain, † ac [s] a'u collwyd trwy dwyll gwobr Balaam, ac a'u difethwyd [t] yngwrth-ddywediad Core.
12 [u] Y rhai hyn sydd frychau yn eich
[x] cariad-wleddoedd chwi, yn cyd-wledda
â chwi, yn ddïofn yn eu pesgi eu hunain:
[y] cymmylau diddwfr *ydynt*, a gylch-arweinir gan wyntoedd; preniau diffannedig,
heb ffrwyth, dwywaith yn feirw, [z] wedi eu
diwreiddio;
13 [a] Tonnau cynddeiriog y môr, yn ewynnu allan eu cywilydd eu hunain; ser gwibiog, i'r rhai y cadwyd niwl y tywyllwch yn
dragywydd.
14 Ac Enoch hefyd, [b] y seithfed o Addaf, a
brophwydodd am y rhai hyn, gan ddywedyd, Wele, [c] y mae'r Arglwydd yn dyfod
gyd â myrddiwn o'i saint,
15 I wneuthur barn yn erbyn pawb,
ac i lwyr argyoeddi yr holl rai annuwiol o
honynt am holl weithredoedd eu hannuwioldeb, y rhai a wnaethant hwy yn annuwiol, ac am yr holl *eiriau* [d] caledion, y rhai
a lefarodd pechaduriaid annuwiol yn ei erbyn ef.
16 Y rhai hyn sydd rwgnachwŷr, tuchanwŷr, yn cerdded yn ol eu chwantau eu
hunain; ac [e] y mae eu genau yn llefaru
*geiriau* chwyddedig, yn mawrygu wynebau
dynion er mwyn budd.
17 Eithr chwi, *O* rai anwyl, cofiwch y
geiriau a rag-ddywedwyd gan apostolion
ein Harglwydd Iesu Grist;
18 Ddywedyd o honynt i chwi, [f] y bydd
yn yr amser diweddaf watwarwŷr, yn cerdded yn ol eu chwantau ‡ annuwiol eu hunain.
19 Y rhai hyn yw [g] y rhai sy yn eu didoli
eu hunain, [h] yn anianol, heb fod yr Yspryd
ganddynt.
20 Eithr chwychwi, anwylyd, gan eich
adeiladu eich hunain ar eich sancteiddiaf
ffydd, a gweddïo yn yr Yspryd Glân,
21 Ymgedwch yngghariad Duw, gan ddisgwyl trugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i
fywyd tragywyddol.
22 A thrugarhêwch wrth rai, gan wneuthur rhagor:
23 Eithr rhai [i] cedwch § trwy ofn, gan *eu*
cipio *hwy* allan o'r tân; gan gasâu hyd yn
oed [k] y wisg a halogwyd gan y cnawd.
24 [l] Eithr i'r hwn a ddichon eich cadw
chwi yn ddigwymp, a'*ch* gosod ger bron ei
ogoniant ef yn ddifeius mewn gorfoledd,
25 [m] I'r unig ddoeth Dduw, ein Hiachawdwr ni, *y byddo* gogoniant a mawredd,
gallu ac awdurdod, yr awrhon ac yn dragywydd. Amen.

[r] Gen. 4. 5. † *a thrwy dwyll gwobr Balaam a redasant allan.* [s] Num. 22. 7, 21. 2 Petr 2. 15. [t] Num. 16. 1. [u] 2 Petr 2. 13. [x] 1 Cor. 11. 21. [y] Diar. 25. 14. 2 Petr 2. 17. [z] Mat. 15. 13. [a] Esay 57. 20. [b] Gen. 5. 18. [c] Dan. 7. 10. Zech. 14. 5. Mat. 25. 31. 2 Thes. 1. 7. [d] 1 Sam. 2. 3. Psal. 31. 18. a 94. 4. Mal. 3. 13. [e] 2 Petr 2. 18. [f] 1 Tim. 4. 1. 2 Tim. 3. 1. 2 Petr 3. 3. ‡ *annuwioldeb.* [g] Diar. 18. 1. Ezec. 14. 7. Hos. 4. 14. a 9. 10. [h] 1 Cor. 2. 14. Iago 3. 15. [i] Rhuf. 11. 14. 1 Tim. 4. 16. § *mewn.* [k] Zech. 3. 4, 5. Dat. 3. 4. [l] Rhuf. 16. 25, 27. Eph. 3. 20. 1 Tim. 1. 17. [m] Rhuf. 16. 27.

## ¶ Datguddiad Sant IOAN y Difinydd.

### PEN. I.

*4 Ioan yn ysgrifenu ei Ddatguddiad at saith eglwys Asia, y rhai a arwyddocéir wrth y saith ganhwyllbren aur. 7 Dyfodiad Crist; 14 a'i allu gogoneddus, a'i ardderchowgrwydd ef.*

Bl. yr Argl. 96.

DATGUDDIAD Iesu Grist, yr hon a
roddes Duw iddo ef, i ddangos i'w
wasanaethwyr y pethau sy raid eu dyfod i
ben ar fyrder; a [a] chan ddanfon trwy ei
angel, efe a'i hyspysodd i'w wasanaethwr
Ioan:
2 Yr hwn a dystiolaethodd air Duw, a
[b] thystiolaeth Iesu Grist, a'r holl bethau [c] a
welodd.
3 [d] Dedwydd yw'r hwn sydd yn darllain,
a'r rhai sy'n gwrando geiriau y brophwyd-
oliaeth hon, ac yn cadw y pethau sydd yn
ysgrifenedig ynddi: canys [e] y mae'r amser
yn agos.

4 IOAN at y saith eglwys sydd yn Asia:
Gras fyddo i chwi, a thangnefedd,
oddi wrth [f] yr hwn sydd, [g] a'r hwn a fu,
a'r hwn sydd ar ddyfod; ac oddi wrth
[h] y saith Yspryd sydd ger bron ei orsedd-
fainge ef;
5 Ac oddi wrth Iesu Grist, [i] *yr hwn yw* y
Tyst ffyddlon, [k] y Cyntaf-anedig o'r meirw,
a [l] Thywysog brenhinoedd y ddaear. Iddo
ef yr hwn a'n carodd ni, [m] ac a'n golchodd
ni oddi wrth ein pechodau yn ei waed ei
hun,
6 Ac a'n [n] gwnaeth ni yn frenhinoedd ac
yn offeiriaid i Dduw a'i Dad ef; [o] iddo ef
*y byddo* y gogoniant a'r † gallu yn oes oes-
oedd. Amen.
7 [p] Wele, y mae efe yn dyfod gyd â'r
cymmylau; a phob llygad a'i gwel ef, ïe,
[q] y rhai a'i gwanasant ef: a holl lwyth-
au y ddaear a alarant o'i blegid ef. Felly,
Amen.
8 [r] Mi yw Alpha ac Omega, y dechreu
a'r diwedd, medd yr Arglwydd, [s] yr hwn
sydd, a'r hwn oedd, a'r hwn sydd i ddyfod,
yr Holl-alluog.
9 Myfi Ioan, yr hwn *wyf* hefyd eich
brawd, [t] a'ch cydymmaith mewn cystudd,
ac [u] yn nheyrnas ac amynedd Iesu Grist,
oeddwn yn yr ynys a elwir Patmos,
[x] am air Duw, ac am dystiolaeth Iesu
Grist.
10 [y] Yr oeddwn i yn yr yspryd ar [z] ddydd
yr Arglwydd; ac a glywais o'r tu ol i mi lef
fawr fel *llais* udgorn,
11 Yn dywedyd, Mi yw Alpha ac Omega,
y cyntaf a'r diweddaf: a'r hyn yr wyt yn
ei weled, ysgrifena mewn llyfr, a danfon
i'r saith eglwys y rhai sy yn Asia; i Ephe-
sus, ac i Smyrna, ac i Pergamus, ac i Thy-
atira, ac i Sardis, a Philadelphia, a Lao-
dicea.
12 Ac mi a droais i weled y llef a lefarai
wrthyf. Ac wedi i mi droi, mi a welais
saith ganhwyllbren aur;
13 Ac ynghanol y saith ganhwyllbren,
[a] *un* tebyg i Fab y dyn, [b] wedi ymwisgo
â gwisg laes hyd ei draed, ac [c] wedi ym-

S. Ioan Efengylwr, &c. — [a] Pen. 22. 16. — [b] 1 Cor. 1. 6. Pen. 6. 9 a 12. 17. Adn. 9. — [c] 1 Ioan 1. 1. — [d] Pen. 22. 7. — [e] Rhuf. 13. 11. Iago 5. 8. 1 Petr 4. 7. Pen. 22. 10. — [f] Exod. 3. 14. Adn. 8. — [g] Ioan 1. 1. — [h] Zech. 3. 9. a 4. 10. Pen. 4. 5. a 5. 6. — [i] Ioan 8. 14. Pen. 3. 14. — [k] 1 Cor. 15. 20. Col. 1. 18. — [l] Pen. 17. 14. a 19. 16. — [m] Heb. 9. 14. 1 Ioan 1. 7. — [n] 1 Petr 2. 5, 9. Pen. 5. 10. a 20. 6. — [o] 1 Tim. 6. 16. Heb. 13. 21. 1 Petr 4. 11. a 5. 11. — † *llywodraeth.* — [p] Dan. 7. 13. Mat. 24. 30. a 26. 64. Act. 1. 11. — [q] Zech. 12. 10. Ioan 19. 37. — [r] Esay 41. 4. a 44. 6. a 48. 12. Pen. 21. 6. a 22. 13. — [s] Adn. 4. Pen. 4. 8. a 11. 17. a 16. 5. — [t] Phil. 1. 7. a 4. 14. 2 Tim. 1. 8. — [u] Rhuf. 8. 17. 2 Tim. 2. 12.

[x] Pen. 6. 9. Adn. 2. [y] Pen. 4. 2. a 17. 3. a 21. 10. [z] Ioan 20. 26. Act. 20. 7. 1 Cor. 16. 2. [a] Ezec. 1. 26. Dan. 7. 13. a 10. 16. Pen. 14. 14. [b] Dan. 10. 5, 6. [c] Pen. 15. 6.

wregysu ynghylch ei fronnau â gwregys
aur.
14 Ei ben ef a'i [d] wallt *oedd* wynion fel
gwlan, ‡ cyn wynned a'r eira; [e] a'i lygaid
fel fflam dân;
15 [f] A'i draed yn debyg i bres coeth, me-
gis yn llosgi mewn ffwrn; [g] a'i lais fel swn
llawer o ddyfroedd.
16 Ac *yr oedd* ganddo yn ei law ddehau
saith seren: ac [h] o'i enau yr oedd cledd-
au llym dau-finiog yn dyfod allan: a'i wy-
nebpryd fel yr haul yn disgleirio yn ei
nerth.
17 A [i] phan welais ef, mi a syrthiais
wrth ei draed ef fel marw. Ac [k] efe a osod-
odd ei law ddehau arnaf fi, gan ddywedyd
wrthyf, Nac ofna; [l] myfi yw y cyntaf a'r
diweddaf;
18 [m] *A'r* hwn *wyf* fyw, ac a fum farw;
ac wele, byw ydwyf yn oes oesoedd, Amen;
ac [n] y mae gennyf agoriadau uffern a marw-
olaeth.
19 Ysgrifena y pethau a welaist, a'r
pethau sydd, a'r pethau a fydd ar ol
hyn,
20 Dirgelwch y saith seren a welaist yn fy
llaw ddehau, a'r saith ganhwyllbren aur.
Y saith seren, [o] angylion y saith eglwys
ydynt: [p] a'r saith ganhwyllbren a welaist, y
saith eglwys ydynt.

[d] Dan. 7. 9. — ‡ *gwyn fel eira.* — [e] Dan. 10. 6 Pen. 2. 18. a 19. 12. — [f] Ezec. 1. 7. Dan. 10. 6. — [g] Pen. 14. 2. — [h] Esay 49. 2. Heb. 4. 12. Pen. 2. 12, 16. a 19. 15, 21. — [i] Ezec. 1. 18. — [k] Dan. 8. 18. a 10. 10. — [l] Esay 41. 4. a 44. 6. Pen. 2. 8. — [m] Rhuf. 6. 9. — [n] Psal. 68. 20. Pen. 20. 1. — [o] Mal. 2. 7 — [p] Zech. 4. 2. Mat. 5. 15. Phil. 2. 15.

### PEN. II.

*Pa beth a orchymynir ei 'sgrifenu at angylion, hynny yw, gweinidogion eglwysi, 1 Ephesus, 8 Smyrna, 12 Pergamus, 18 Thyatira; a pha beth sydd ganmoladwy, neu ddiffygiol ynddynt.*

AT angel yr eglwys sydd yn Ephesus, 96.
ysgrifena; Y pethau hyn y mae [a] yr
hwn sydd yn dal y saith seren yn ei law
ddehau, yr hwn sydd yn rhodio yngha-
nol y saith ganhwyllbren aur, yn eu dy-
wedyd;
2 [b] Mi a adwaen dy weithredoedd di,
a'th lafur, a'th amynedd, ac na elli oddef
y rhai drwg: a [c] phrofi o honot y rhai
sy'n dywedyd eu bod yn apostolion, ac
nid ydynt; a chael o honot hwynt yn gel-
wyddog:
3 A thi a oddefaist, ac y mae amynedd
gennyt, ac a gymmeraist boen er mwyn fy
enw i, ac ni ddiffygiaist.
4 Eithr y mae gennyf *beth* yn dy erbyn,
am i ti ymadael â'th gariad cyntaf.
5 Cofia gan hynny o ba le y syrthiaist, ac
edifarhâ, a gwna y gweithredoedd cyntaf:
ac [d] onid ê, yr wyf fi yn dyfod attat ti ar
frys, ac mi a symmudaf dy ganhwyllbren
di allan o'i le, oni edifarhâi di.
6 Ond hyn sydd gennyt ti, dy fod ti yn
casâu gweithredoedd [e] y Nicolaiaid, y rhai
yr wyf fi hefyd yn eu casâu.
7 [f] Yr hwn sydd ganddo glust, gwran-
dawed pa beth y mae'r Yspryd yn ei ddy-
wedyd wrth yr eglwysi; I'r hwn sydd yn
gorchfygu, y rhoddaf iddo [g] fwytta o [h] bren
y bywyd, yr hwn sydd ynghanol paradwys
Duw.
8 ¶ Ac at angel yr eglwys sydd yn Smyr-
na, ysgrifena; Y pethau hyn y mae [i] y
cyntaf a'r diweddaf, yr hwn a fu farw, ac
sydd fyw, yn eu dywedyd;

[a] Pen. 1. 13, 16, 20. — [b] Adn. 9, 13, 19. Pen. 3. 1, 8, 15. — [c] 1 Ioan 4. 1. — [d] Mat. 21. 41, 43. — [e] Adn. 15. — [f] Mat. 11. 15. a 13. 9, 43. Adn. 11, 17, 29. Pen. 3. 6, 13, 22. a 13. 9. — [g] Pen. 22. 2, 14. — [h] Gen. 2. 9. — [i] Pen. 1. 8, 17, 18.

9 [k] Mi a adwaen dy weithredoedd di, a'th
gystudd, a'th dlodi (eithr [l] cyfoethog wyt)
ac *mi a adwaen* gabledd [m] y rhai sy yn dy-
wedyd eu bod yn Iuddewon, ac nid ydynt
ond synagog Satan.
10 Nac ofna ddim o'r pethau yr ydwyt
i'w dïoddef. Wele, y cythraul a fwrw rai
o honoch chwi i garchar, fel y'ch profer;
a chwi a gewch gystudd ddeng niwrnod.
Bydd ffyddlon hyd angau, ac mi a roddaf
i ti [n] goron y bywyd.
11 [o] Yr hwn sydd ganddo glust, gwran-
dawed beth y mae'r Yspryd yn ei ddywed-
yd wrth yr eglwysi; Yr hwn sydd yn gorch-
fygu, ni chaiff ddim niweid gan [p] yr ail
farwolaeth.
12 ¶ Ac at angel yr eglwys sydd yn Per-
gamus, ysgrifena; Y pethau hyn y mae [q] yr
hwn sydd ganddo y cleddyf llym daufiniog,
yn eu dywedyd;
13 [r] Mi a adwaen dy weithredoedd di, a
pha le yr wyt yn trigo; *sef* lle *mae* gorsedd-
faingc Satan: ac yr wyt yn dal fy enw i, ac
ni wedaist fy ffydd i, ïe, yn y dyddiau *y bu*
Antipas yn ferthyr ffyddlon i mi, yr hwn a
laddwyd yn eich plith chwi, lle y mae Satan
yn trigo.
14 Eithr y mae gennyf ychydig bethau
yn dy erbyn di, oblegid bod gennyt yno *rai*
yn dal athrawiaeth [s] Balaam, yr hwn a
ddysgodd i Balac fwrw rhwystr ger bron
meibion Israel, [t] i fwytta pethau wedi eu
haberthu i eilunod, ac i odinebu.
15 Felly y mae gennyt tithau hefyd *rai* yn
dal athrawiaeth [u] y Nicolaiaid, yr hyn beth
yr wyf fi yn ei gasâu.
16 Edifarhâ; ac os amgen, yr wyf fi yn
dyfod attat ar frys, ac [x] a ryfela † yn eu
herbyn hwynt â chleddyf fy ngenau.
17 [y] Yr hwn sydd ganddo glust, gwran-
dawed beth y mae'r Yspryd yn ei ddywed-
yd wrth yr eglwysi; I'r hwn sydd yn gorch-
fygu, y rhoddaf iddo fwytta o'r manna
cuddiedig, ac a roddaf iddo garreg wen, ac
ar y garreg [z] enw newydd wedi ei 'sgrifenu,
yr hwn nid edwyn neb, ond yr hwn sydd
yn *ei* dderbyn.
18 ¶ Ac at angel yr eglwys sydd yn Thya-
tira, ysgrifena; Y pethau hyn y mae Mab
Duw yn eu dywedyd, [a] yr hwn sydd â'i
lygaid fel fflam dân, a'i draed yn debyg i
bres coeth;
19 [b] Mi a adwaen dy weithredoedd di,
a'th gariad, a'th wasanaeth, a'th ffydd, a'th
amynedd di, ‡ a'th weithredoedd; a *bod* y
rhai diweddaf yn fwy nâ'r rhai cyntaf.
20 Eithr y mae gennyf ychydig bethau
yn dy erbyn, oblegid dy fod yn gadael i'r
wraig honno [c] Jezebel, yr hon sydd yn ei
galw ei hun yn brophwydes, ddysgu, a
thwyllo fy ngwasanaethwŷr [d] i odinebu,
ac [e] i fwytta pethau wedi eu haberthu i ei-
lunod.
21 Ac mi a roddais iddi amser i edi-
farhâu § am ei godineb; ac nid edifar-
haodd hi.
22 Wele, yr wyf fi yn ei bwrw hi ar
wely, a'r rhai sydd yn godinebu gyd â hi,
i gystudd mawr, onid edifarhânt ‖ am eu
gweithredoedd.
23 A'i phlant hi a laddaf â marwol-
aeth: a'r holl eglwysi a gânt wybod mai
[f] myfi yw yr hwn sydd yn chwilio yr
arennau a'r calonnau: ac [g] mi a roddaf i
bob un o honoch yn ol eich gweithred-
oedd.

[k] Adn. 2, 13. [l] Luc 12. 21. Iago 2. 5. [m] Rhuf. 2. 28, 29. a 9. 6 [n] Iago 1. 12. Pen. 3. 11. [o] Adn. 12, 17. [p] Pen. 20. 14. a 21. 8. [q] Adn. 16. [r] Adn. 9. [s] Num. 24. 14. a 25. 1. a 31. 16. [t] Adn. 20. [u] Adn. 6. [x] Esay 11 4. 2 Thess. 2. 8. Pen. 19. 15, 21. † *â hwynt.* [y] Adn. 7, 29. [z] Pen. 3. 12. a 19. 12. [a] Pen. 1. 14, 15. [b] Adn. 2 ‡ *a bod dy weithredoedd diweddaf yn fwy nâ'r, &c.* [c] 1 Bren. 16. 31. 2 Bren. 9. 7. [d] Adn. 14. [e] Exod. 34. 15. Act. 15. 20. 1 Cor. 10. 19, 20. § *oddi wrth.* ‖ *oddi wrth.* [f] 1 Sam. 16. 7. 1 Chron. 28. 9. a 29. 17. Psal. 7. 9. Jer. 11. 20. a 17. 10. Act. 1. 24. Rhuf. 8. 27. [g] Rhuf. 2. 6. a 14. 12. 2 Cor. 5. 10. Gal. 6. 5. Pen. 20. 12.

24 Eithr wrthych chwi yr wyf yn dy-
wedyd, ac wrth y lleill yn Thyatira, Y
sawl nid oes ganddynt y ddysgeidiaeth hon,
a'r rhai ni adnabuant ddyfnderau Satan,
fel y dywedant; ni fwriaf arnoch † faich
arall.
25 Eithr [h] yr hyn sydd gennych, deliwch
hyd oni ddelwyf.
26 A'r hwn sydd yn gorchfygu, ac yn
cadw [i] fy ngweithredoedd hyd y diwedd,
mi a roddaf [k] iddo awdurdod ar y cenhedl-
oedd:
27 ([l] Ac *efe* a'u bugeilia hwy â gwïalen
haiarn: fel llestri pridd y dryllir hwynt) fel
y derbyniais innau gan fy nhad:
28 Ac mi a roddaf iddo [m] y seren
fore.
29 [n] Yr hwn sydd ganddo glust, gwran-
dawed beth y mae'r Yspryd yn ei ddy-
wedyd wrth yr eglwysi.

† *bwys.* [h] Pen. 3. 11. [i] Ioan 6. 29. 1 Ioan 3. 23. [k] Mat. 19. 28. Luc 22. 29. 1 Cor. 6. 3. Pen. 3. 21. [l] Psal. 2. 8, 9. a 49. 14. Pen. 12. 5. a 19. 15. [m] 2 Petr 1. 19. Pen. 22. 16. [n] Adn. 7.

## PEN. III.

*2 Argyoeddi angel eglwys Sardis, 3 a'i annog ef i edifarhâu; ai fygwth oni edifarhâi. 8 Angel eglwys Philadelphia 10 yn cael ei ganmol am ei ddiwydrwydd a'i amynedd. 15 Angel Laodicea yn cael ei geryddu am na bai na brwd nac oer; 19 a'i rybuddio i fod yn fwy ei zel. 20 Crist yn sefyll wrth y drws, ac yn curo.*

AC at angel yr eglwys sydd yn Sar- 96.
dis, ysgrifena; Y pethau hyn y mae
[a] yr hwn sydd â saith Yspryd Duw, a'r
saith seren ganddo, yn eu dywedyd; [b] Mi
a adwaen dy weithredoedd di, oblegid y
mae gennyt enw dy fod yn fyw, a marw
ydwyt.
2 Bydd wyliadwrus, a sicrhâ y pethau
sydd yn ol, y rhai sydd barod i farw: canys
ni chefais dy weithredoedd yn gyflawn ger
bron Duw.
3 Cofia gan hynny pa fodd y derbyniaist
ac y clywaist, a chadw, ac [c] edifarhâ. [d] Os
tydi gan hynny ni wyli, mi a ddeuaf arnat
ti fel lleidr, ac ni chai di wybod pa awr y
deuaf attat.
4 Eithr y mae gennyf ychydig enwau, ïe,
yn Sardis, y rhai ni [e] halogasant eu dillad;
a hwy a rodiant gyd â mi mewn *dillad*
[f] gwŷnion: oblegid teilwng ydynt.
5 Yr hwn sydd yn gorchfygu, † hwn-
nw a wisgir mewn dillad gwŷnion; ac
ni [g] ddileaf ei enw ef allan o [h] lyfr
y bywyd, ond [i] mi a gyffesaf ei enw ef
ger bron fy Nhad, a cher bron ei angy-
lion ef.
6 [k] Yr hwn sydd ganddo glust, gwran-
dawed beth y mae'r Yspryd yn ei ddywed-
yd wrth yr eglwysi.
7 ¶ Ac at angel yr eglwys sydd yn Phi-
ladelphia, ysgrifena; Y pethau hyn y mae
y Sanctaidd, [l] y Cywir, yn eu dywed-
yd; [m] Yr hwn sydd ganddo agoriad Da-
fydd; yr hwn sydd yn agoryd, ac nid yw
neb yn cau; ac [n] yn cau, ac nid yw neb yn
agoryd:
8 [o] Mi a adwaen dy weithredoedd: wele,
rhoddais ger dy fron ddrws agored, ac ni
ddichon neb ei gau: canys y mae gennyt
ychydig nerth, a thi a gedwaist fy ngair, ac
ni wedaist fy enw.
9 Wele, mi a wnaf [p] iddynt hwy o syn-
agog Satan (y rhai sydd yn dywedyd eu
bod yn Iuddewon, ac nid ydynt, ond dy-
wedyd celwydd y maent) wele, *meddaf*,
[q] gwnaf iddynt ddyfod ac addoli o flaen

[a] Pen. 1. 4, 16. [b] Adn. 11. [c] Adn. 19. [d] Mat. 24. 42, 43. Luc 12. 39, 40. 1 Thess. 5. 2. 2 Petr 3. 10. Pen. 16. 15. [e] Judas 23. [f] Pen. 4. 4. a 6. 11. a 7. 9, 13. † Adn. 18. [g] Exod. 32. 32. Psal. 69. 28. [h] Phil. 4. 3. Pen. 20. 12. a 21. 27 [i] Mat. 10. 32. Luc 12. 8. [k] Adn. 13. [l] Adn. 14. Pen. 1. 5. [m] Esay 22. 22. Luc 1. 32. Pen. 1. 18. [n] Job 12. 14. [o] Adn. 1. [p] Pen. 2. 9. [q] Esay 49. 23. a 60. 14.

dy draed, a gwybod fy mod i yn dy garu di.

10 O achos cadw o honot air fy amynedd i, [r] minnau a'th gadwaf di oddi wrth awr y brofedigaeth, yr hon a ddaw ar yr holl fyd, i brofi y rhai sydd yn trigo ar y ddaear.

11 Wele, [s] yr wyf yn dyfod ar frys: [t] dal yr hyn sydd gennyt, fel na ddygo neb dy goron di.

12 Yr hwn sydd yn gorchfygu, mi a'i gwnaf [u] yn golofn yn nheml fy Nuw i, ac allan nid a efe mwyach: ac [x] mi a 'sgrifenaf arno ef enw fy Nuw i, ac enw dinas fy Nuw i, *yr hon yw'r* Jerusalem [y] newydd, yr hon sydd yn disgyn o'r nef oddi wrth fy Nuw i: ac *mi a 'sgrifenaf arno ef* fy enw newydd i.

13 [z] Yr hwn sydd ganddo glust, gwrandawed beth y mae'r Yspryd yn ei ddywedyd wrth yr eglwysi.

14 ¶ Ac at angel † eglwys y Laodiceaid, ysgrifena: Y pethau hyn y mae Amen yn eu dywedyd, [a] y Tyst ffyddlon a chywir, [b] dechreuad creadigaeth Duw;

15 [c] Mi a adwaen dy weithredoedd di, nad ydwyt nac oer na brwd: mi a fynnwn pe bait oer neu frwd.

16 Felly, am dy fod yn glaiar, ac nid yn oer nac yn frwd, mi a'th chwydaf di allan o'm genau:

17 Oblegid dy fod yn dywedyd, [d] Goludog wyf, ac mi a gyfoethogais, ac nid oes arnaf eisiau dim; ac ni wyddost dy fod yn druan, ac yn resynol, ac yn dlawd, ac yn ddall, ac yn noeth.

18 Yr wyf yn dy gynghori [e] i brynu gennyf fi aur wedi ei buro trwy dân, fel y'th gyfoethoger; a [f] dillad gwynion, fel y'th wisger, ac *fel* nad ymddangoso gwarth dy noethder di; ira hefyd dy lygaid ag eli llygaid, fel y gwelech.

19 [g] Yr wyf fi yn argyoeddi, ac yn ceryddu y sawl yr wyf yn eu caru: am hynny bydded gennyt zel, ac edifarhâ.

20 Wele, yr wyf yn sefyll wrth y drws, ac yn curo. Os clyw neb fy llais i, ac agoryd y drws, [h] mi a ddeuaf i mewn atto ef, ac a swpperaf gyd ag ef, ac yntau gyd â minnau.

21 Yr hwn sydd yn gorchfygu, [i] rhoddaf iddo ef eistedd gyd â mi ar fy ngorsedd-faingc, megis y gorchfygais innau, ac yr eisteddais gyd â'm Tad ar ei orsedd-faingc ef.

22 [k] Yr hwn sydd ganddo glust, gwrandawed beth y mae'r Yspryd yn ei ddywedyd wrth yr eglwysi.

[r] 2 Petr 2. 9. [s] Phil. 4. 5. Pen. 1. 3. a 22. 7, 12. [t] Pen. 2. 25. [u] 1 Bren. 7. 21. [x] Pen. 2. 17. a 14. 1. a 22. 4. [y] Gal. 4. 26. Heb. 12. 22. Pen. 21. 2, 10. [z] Adn. 22. † *yr eglwys yn Laodicea.* [a] Pen. 1. 5. a 19. 11. a 22. 6. [b] Col. 1. 15. [c] Pen. 2. 2. [d] 1 Cor. 4. 8. [e] Esay 55. 1. Mat. 13. 44. a 25. 9. [f] 2 Cor. 5. 3. Pen. 6. 11. a 7. 13. a 16. 15. a 19. 8. [g] Job 5. 17. Diar. 3. 11, 12. Heb. 12. 5, 6. Iago 1. 12. [h] Can. 5. 2. Ioan 14. 23. [i] Mat. 19. 28. Luc 22. 30. 1 Cor. 6. 2. 2 Tim. 2. 12. Pen. 2. 16, 27. [k] Pen. 2. 7.

## PEN. IV.

*2 Ioan yn gweled gorsedd-faingc Duw yn y nef: 4 y pedwar henuriaid ar hugain: 6 y pedwar anifail yn llawn llygaid ymlaen ac yn ol: 10 yr henuriaid yn bwrw i lawr eu coronau, ac yn addoli'r hwn oedd yn eistedd ar yr orsedd-faingc.*

96. AR ol y pethau hyn yr edrychais; ac wele, ddrws wedi ei agoryd yn y nef: a'r llais [a] cyntaf a glywais, *oedd fel llais* udgorn yn ymddiddan â mi; gan ddywedyd, Dring i fynu yma, a mi a ddangosaf i ti y pethau sydd raid eu † bod ar ol hyn.

2 Ac yn y man [b] yr oeddwn yn yr yspryd: ac wele, [c] yr oedd gorsedd-faingc wedi ei gosod yn y nef, ac *un* yn eistedd ar yr orsedd-faingc.

3 A'r hwn oedd yn eistedd, oedd yn debyg yr olwg arno i faen jaspis a sardin: ac *yr oedd* enfys o amgylch yr orsedd-faingc, yn debyg yr olwg arno i smaragdus.

4 Ac ynghylch yr orsedd-faingc yr *oedd* pedair gorsedd-faingc ar hugain: ac ar y gorsedd feingciau y gwelais bedwar henuriad ar hugain yn eistedd, [d] wedi eu gwisgo mewn dillad gwynion; ac yr oedd ganddynt ar eu pennau goronau aur.

5 Ac yr oedd yn dyfod allan o'r orsedd-faingc [e] fellt, a tharanau, a lleisiau. Ac *yr oedd* saith o lampau tân yn llosgi ger bron yr orsedd-faingc, y rhai yw [f] saith Yspryd Duw.

6 Ac o flaen yr orsedd-faingc *yr ydoedd* [g] môr o wydr, yn debyg i † grystal: ac ynghanol yr orsedd-faingc, ac ynghylch yr orsedd-faingc, *yr oedd* pedwar anifail yn llawn o lygaid o'r tu blaen ac o'r tu ol.

7 A'r [h] anifail cyntaf *oedd* debyg i lew, a'r ail anifail yn debyg i lo, a'r trydydd anifail oedd ganddo wyneb fel dyn, a'r pedwerydd anifail *oedd* debyg i eryr yn ehedeg.

8 A'r pedwar anifail oedd ganddynt, bob un o honynt, [i] chwech o adenydd o'u hamgylch; ac *yr oeddynt* oddi fewn yn llawn llygaid: ac nid ‡ oeddynt yn gorphwys ddydd a nos, gan ddywedyd, [k] Sanct, Sanct, Sanct, Arglwydd Dduw Holl-alluog, [l] yr hwn oedd, a'r hwn sydd, a'r hwn sydd i ddyfod.

9 A phan fyddo yr anifeiliaid yn rhoddi gogoniant, ac anrhydedd, a diolch, i'r hwn oedd yn eistedd ar yr orsedd-faingc, yr hwn sydd yn byw yn oes oesoedd.

10 Y mae y pedwar henuriad ar hugain yn syrthio ger bron yr hwn oedd yn eistedd ar yr orsedd-faingc, ac yn addoli yr hwn sydd yn byw yn oes oesoedd, ac yn bwrw eu coronau ger bron yr orsedd-faingc, gan ddywedyd,

11 [m] Teilwng wyt, O Arglwydd, i dderbyn gogoniant, ac anrhydedd, a gallu: canys ti a greaist bob peth, ac o herwydd dy ewyllys di y maent, ac y crewyd hwynt.

[a] Pen. 1. 10. † *gwneuthur.* [b] Pen. 1. 10. a 21. 10. [c] Ezec. 1. 26. a 10. 1. [d] Pen. 3. 4, 5. a 6. 11. a 7. 9, 14. [e] Pen. 16. 18. [f] Pen. 1. 4. a 5. 6. [g] Pen. 15. 2. † *grisial.* [h] Edrych Ezec. 1. 10. a 10. 14. [i] Esay 6. 2. ‡ Gr. *nid oes gorphwysfa iddynt,* &c. [k] Esay 6. 3. [l] Pen. 1. 4, 11, 17. [m] Pen. 5. 12.

## PEN. V.

*1 Y llyfr wedi ei selio â saith sel; 9 yr hwn yr oedd yr Oen a laddesid, yn unig yn deilwng i'w agoryd. 12 Yr henuriaid o ran hynny yn ei foliannu ef, 9 ac yn cyfaddef mai efe a'u prynasai hwy â'i waed.*

AC mi a welais yn neheu-law yr hwn oedd yn eistedd ar yr orsedd-faingc, 96.
[a] llyfr wedi ei 'sgrifenu oddi fewn ac † oddi allan, wedi ei selio â saith sel.

2 Ac mi a welais angel cryf yn cyhoeddi â llef ‡ uchel, Pwy sydd deilwng i agoryd y llyfr, ac i ddattod ei seliau ef?

3 Ac nid oedd neb [b] yn y nef, nac yn y ddaear, na than y ddaear, yn gallu agoryd y llyfr, nac edrych arno.

4 Ac mi a wylais lawer, o achos na chaed neb yn deilwng i agoryd, ac i ddarllain y llyfr, nac i edrych arno.

5 Ac un o'r henuriaid a ddywedodd

[a] Ezec. 2. 10. † *ar y tu cefn.* ‡ *fawr.* [b] Adn. 13.

wrthyf, Nac wyla: wele, [c] y Llew yr hwn
sydd o lwyth Juda, [d] Gwreiddyn Dafydd, a
orchfygodd i agoryd y llyfr, ac i ddattod ei
saith sel ef.
6 Ac mi a edrychais; ac wele, ynghanol
yr orsedd-faingc a'r pedwar anifail, ac
ynghanol yr henuriaid, *yr oedd* [e] Oen yn
sefyll megis wedi ei ladd, a chanddo saith
gorn, a [f] saith lygad, y rhai ydyw [g] saith
Yspryd Duw wedi eu danfon allan i'r holl
ddaear.
7 Ac efe a ddaeth, ac a gymmerth y llyfr
o ddeheu-law yr hwn oedd yn eistedd ar yr
orsedd-faingc.
8 A phan gymmerth efe y llyfr, y pedwar
anifail a'r pedwar henuriad ar hugain a
syrthiasant ger bron yr Oen; a chan bob un
o honynt yr oedd [h] telynau, a phïalau aur,
yn llawn o arogl-darth, [i] y rhai ydyw gwed-
dïau'r saint.
9 A [k] hwy a ganasant ganiad newydd,
gan ddywedyd, [l] Teilwng wyt ti i gymme-
ryd y llyfr, ac i agoryd ei seliau ef: oblegid
ti a laddwyd, ac [m] a'n prynaist ni i Dduw
trwy dy waed, allan o bob llwyth, † ac iaith,
a phobl, a chenedl;
10 [n] Ac a'n gwnaethost ni i'n Duw ni, yn
frenhinoedd, ac yn offeiriaid: ac ni a deyrn-
aswn ar y ddaear.
11 Ac mi a edrychais, ac a glywais lais
angylion lawer ynghylch yr orsedd-faingc,
a'r anifeiliaid, a'r henuriaid: a'u rhifedi
hwynt oedd [o] fyrddiynau o fyrddiynau, a
miloedd o filoedd;
12 Yn dywedyd â llef ‡ uchel, [p] Tei-
lwng yw'r Oen, yr hwn a laddwyd, i dder-
byn gallu, a chyfoeth a doethineb, a cha-
dernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a ben-
dith.
13 A [q] phob creadur a'r sydd yn y nef, ac
ar y ddaear, a than y ddaear, a'r pethau sydd
yn y môr, ac oll a'r sy ynddynt, a glywais i
yn dywedyd, [r] I'r hwn sydd yn eistedd ar
yr orsedd-faingc, ac i'r Oen, *y byddo* y fen-
dith, a'r anrhydedd, a'r gogoniant, a'r gallu,
yn oes oesoedd.
14 A'r pedwar anifail a ddywedasant,
Amen. A'r pedwar henuriad ar hugain a
syrthiasant i lawr, ac a addolasant yr hwn
sydd yn byw yn oes oesoedd.

[c] Gen. 49. 9, 10. [d] Esay 11. 1, 10. Pen. 22. 16. [e] Ioan 1. 29, 36. 1 Petr 1. 19. [f] Zech. 3. 9. a 4. 10. [g] Pen. 4. 5. [h] Pen. 14. 2. [i] Psal. 141. 2. Pen. 8. 3, 4. [k] Psal. 40. 3. Pen. 14. 3. [l] Pen. 4. 11. [m] 1 Cor. 6. 20. a 7. 23. Eph. 1. 7. Col. 1. 14. 1 Petr 1. 18, 19. 1 Ioan 1. 7. Pen. 14. 4. † *a thafod.* [n] Exod. 19. 6. 1 Petr 2. 5, 9. Pen. 1. 6. a 20. 6. [o] Dan. 7. 10. Heb. 12. 22. ‡ *fawr.* [p] Pen. 4. 11. [q] Phil. 2. 10. Adn. 3. [r] 1 Chron. 29. 11. 1 Tim. 6. 16. Pen. 1. 6.

## PEN. VI.

*1 Agoryd y seliau, y naill ar ol y llall; a pha beth a ddigwyddodd ar hynny: yr hyn sydd yn cynnwys prophwydoliaeth hyd ddiwedd y byd.*

96. AC mi a welais pan agorodd yr Oen un
o'r seliau, ac mi a glywais un o'r ped-
war anifail yn dywedyd, fel trwst taran,
Tyred, a gwel.
2 Ac mi a welais; ac wele [a] farch
gwŷn: a'r hwn oedd yn eistedd arno, â
bwa ganddo; a rhoddwyd iddo goron: ac
efe a aeth allan yn gorchfygu, ac i orch-
fygu.
3 A phan agorodd efe yr ail sel, mi a
glywais yr ail anifail yn dywedyd, Tyred, a
gwel.
4 Ac fe aeth allan farch arall, *un* coch: a'r
hwn oedd yn eistedd arno, y rhoddwyd iddo
gymmeryd heddwch oddi ar y ddaear, fel y
lladdent eu gilydd: a rhoddwyd iddo ef
gleddyf mawr.
5 A phan agorodd efe y drydedd sel, mi
a glywais y trydydd anifail yn dywedyd,
Tyred, a gwel. Ac mi a welais; ac wele
farch du: a'r hwn oedd yn eistedd arno, â
chlorian ganddo yn ei law.
6 Ac mi a glywais lais ynghanol y ped-
war anifail, yn dywedyd, † Mesur o wenith
er ceiniog, a thri mesur o haidd er cein-
iog; [b] a'r olew a'r gwin, na wna niweid id-
dynt.
7 A phan agorodd efe y bedwaredd sel,
mi a glywais lais y pedwerydd anifail yn
dywedyd, Tyred, a gwel.
8 Ac mi a edrychais; ac wele farch
‡ gwelwlas: ac enw yr hwn oedd yn eis-
tedd arno oedd Marwolaeth; ac yr oedd
uffern yn canlyn gyd ag ef. A rhodd-
wyd § iddynt awdurdod ar y bedwaredd
ran o'r ddaear, i ladd â chleddyf, ac â ne-
wyn, ac â marwolaeth, ac â bwystfilod y
ddaear.
9 A phan agorodd efe y bummed sel, mi
a welais [c] dan yr allor [d] eneidiau y rhai a
laddesid [e] am air Duw, ac am [f] y dystiola-
eth oedd ganddynt.
10 A hwy a lefasant â llef ‖ uchel, gan
ddywedyd, [g] Pa hŷd, Arglwydd, sanctaidd
a chywir, nad ydwyt yn barnu, ac yn dïal
ein gwaed ni ar y rhai sy yn trigo ar y
ddaear?
11 A [h] gynau gwŷnion a roed i bob un o
honynt; a dywedwyd wrthynt, ar iddynt
orphwys etto ychydig amser, hyd oni chyf-
lawnid *rhif* eu cyd-weision, a'u brodyr, y
rhai oedd i gael eu lladd, megis ag *y cawsent*
hwythau.
12 Ac mi a edrychais pan agorodd efe y
chweched sel; ac wele, bu daear-gryn mawr;
[i] a'r haul a aeth yn ddu fel sachlen flew, a'r
lleuad a aeth fel gwaed.
13 A ser y nef a syrthiasant ar y ddaear
fel y mae'r ffigysbren yn bwrw ei ffigys
gleision pan ei hysgydwer gan wŷnt mawr.
14 [k] A'r nef a aeth heibio fel llyfr wedi ei
blygu ynghŷd; a [l] phob mynydd ac ynys a
symmudwyd allan o'u lleoedd.
15 A brenhinoedd y ddaear, a'r gwŷr
mawr, a'r cyfoethogion, a'r pen-capten-
iaid, a'r gwŷr cedyrn, a phob gwr caeth,
a phob gwr rhŷdd, [m] a ymguddiasant yn yr
ogofeydd, ac ynghreigiau y mynyddoedd;
16 [n] Ac a ddywedasant wrth y mynydd-
oedd a'r creigiau, Syrthiwch arnom ni, a
chuddiwch ni o ŵydd yr hwn sydd yn eis-
tedd ar yr orsedd-faingc, ac oddi wrth lid
yr Oen:
17 Canys daeth dydd mawr ei ddigter ef;
a phwy a ddichon sefyll?

[a] Zech. 6. 3. Pen. 19. 11. † *Choinix a arwyddocca fesur yn cynnwys un pint gwin, a saith deegfed ran pint.* [b] Pen. 9. 4. ‡ *gwŷnlas.* § *iddo.* [c] Pen. 8. 3. a 9. 13. a 14. 18. [d] Pen. 20. 4. [e] Pen. 1. 9. [f] Pen. 19. 10. ‖ *fawr.* [g] Edrych Zech 1. 12. [h] Pen. 3. 4, 5. a 7. 9, 14. [i] Joel 2. 10, 31. a 3. 15. Mat. 24. 29. Act. 2. 20. [k] Esay 34. 4. [l] Jer. 3. 23. a 4. 24. Pen. 16. 20. [m] Esay 2. 19. [n] Hos. 10. 8. Luc 23. 30. Pen. 9. 6.

## PEN. VII.

*3 Angel yn selio gwasanaethwŷr Duw yn eu talcennau. 4 Nifer y rhai a seliwyd: o lwythau Israel rhifedi hyspysol: 9 o bob cenhedloedd eraill tyrfa aneirif, y rhai sydd yn sefyll ger bron yr orsedd-faingc, â gynau gwŷnion am danynt, ac â phalmwŷdd yn eu dwylaw. 14 Bod eu gynau wedi eu golchi yngwaed yr Oen.*

AC ar ol y pethau hyn, mi a welais bed- 96.
war angel yn sefyll ar bedair congl y
ddaear, yn dal pedwar gwŷnt y ddaear, fel
na chwŷthai'r gwŷnt ar y ddaear, nac ar y
môr, nac ar un pren.
2 Ac mi a welais angel arall yn dy-
fod i fynu oddi wrth godiad haul, â
sel y Duw byw ganddo. Ac efe a lef-

† *fawr.* odd â llef † uchel ar y pedwar angel, i'r rhai y rhoddasid *gallu* i ddrygu'r ddaear a'r môr,

ª Pen. 6. 6. a 9. 4. ᵇ Ezec. 9. 4. Pen. 14. 1. 3 Gan ddywedyd, ª Na ddrygwch y ddaear, na'r môr, na'r preniau, nes darfod i ni ᵇ selio gwasanaethwŷr ein Duw ni yn eu talcennau.

4 Ac mi a glywais nifer y rhai a seliwyd: *yr oedd* wedi eu selio gant a phedair a deugain o filoedd o holl lwythau meibion Israel.

5 O lwyth Juda *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio. O lwyth Reuben *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio. O lwyth Gad *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio.

6 O lwyth Aser *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio. O lwyth Nephthali *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio. O lwyth Manasses *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio.

7 O lwyth Simeon *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio. O lwyth Lefi *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio. O lwyth Issachar *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio.

8 O lwyth Zabulon *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio. O lwyth Joseph *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio. O lwyth Benjamin *yr oedd* deuddeng mil wedi eu selio.

9 Wedi hyn mi a edrychais; ac wele dyrfa fawr, yr hon ni allai neb ei rhifo, o bob ‡ *ieithoedd.* cenedl, a llwythau, a phobloedd, ‡ ac ieithioedd, yn sefyll ger bron yr orsedd-faingc, a ᶜ Adn. 14. cher bron yr Oen, ᶜ wedi eu gwisgo mewn gynau gwŷnion, a phalmwŷdd yn eu dwylaw;

§ *fawr.* 10 Ac yn llefain â llef § uchel, gan ddyᵈ Psal. 3. 8. Esay 43. 11. Jer. 3. 33. Hos. 13. 4. wedyd, ᵈ Iachawdwriaeth i'n Duw ni, yr hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd-faingc, ac i'r Oen.

11 A'r holl angylion a safasant o amgylch yr orsedd-faingc, a'r henuriaid, a'r pedwar anifail, ac a syrthiasant ger bron yr orsedd-faingc ar eu hwynebau, ac a addolasant Dduw,

12 Gan ddywedyd, Amen: Y fendith, a'r gogoniant, a'r doethineb, a'r diolch, a'r anrhydedd, a'r gallu, a'r nerth, *a* ᵉ Pen. 3. 5. 18. a 6. 11. a 16. 15. a 19. 8. Adn. 9, 14. *fyddo* i'n Duw ni yn oes oesoedd. Amen.

13 Ac un o'r henuriaid a attebodd, gan ddywedyd wrthyf, Pwy ydyw y rhai hyn sy wedi eu gwisgo ᵉ mewn gynau gwŷnion? ac ᶠ Esay 1. 18. Heb. 9. 14. 1 Ioan 1. 7. Pen. 1. 6. Edrych Zech. 3. 3, 4, 5. o ba le y daethant?

14 Ac mi a ddywedais wrtho ef, Arglwydd, ti a wyddost. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Y rhai hyn yw y rhai a ddaethant allan o'r cystudd mawr, ac ᶠ a olchasant eu gynau, ac a'u cannasant hwy yngᵍ Esay 4. 5, 6. Pen. 21. 3. waed yr Oen.

15 O herwydd hynny y maent ger bron ‖ *esyd ei babell arnynt, neu, trostynt.* gorsedd-faingc Duw, ac yn ei wasanaethu ef ddydd a nos yn ei deml: a'r hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd-faingc ᵍ a ‖ drig yn eu plith hwynt.

ʰ Esay 49. 10. 16 ʰ Ni fydd arnynt na newyn mwyach, ⁱ Psal. 121. 6. na syched mwyach; ac ⁱ ni ddisgyn arnynt na'r haul, na dim gwres.

ᵏ Psal. 23. 1. Ioan 10. 11. 17 Oblegid yr Oen, yr hwn sydd ynghanol yr orsedd-faingc, ᵏ a'u bugeilia hwynt, † *byw.* ac a'u harwain hwynt at ffynhonnau ˡ Esay 25. 8. Pen. 21. 4. † bywiol o ddyfroedd: a ˡ Duw a sych ymaith bob deigr oddi wrth eu llygaid hwynt.

PEN. VIII.

1 *Wrth agoryd y seithfed sel,* 2 *y rhoddwyd saith o udgyrn i saith o angylion.* 6 *Pedwar o honynt yn udganu â'u hudgyrn; a phlâau mawr yn canlyn.* 3 *Angel arall yn rhoddi arogl-darth at weddiau y saint ar yr allor aur.*

A Phan agorodd efe y seithfed sel, yr ydoedd † gosteg yn y nef megis dros hanner awr. 96. † *distawrwydd.*

2 Ac mi a welais y saith angel y rhai oedd yn sefyll ger bron Duw: a rhoddwyd iddynt saith o udgyrn.

3 Ac angel arall a ddaeth, ac a safodd ger bron yr allor, a thusser aur ganddo: a rhoddwyd iddo arogl-darth lawer, fel ‡ yr offrymmai *ef* gyd â ª gweddiau yr holl saint ar yr allor aur, yr hon oedd ger bron yr orsedd-faingc. ‡ *y rhoddai at weddiau.* ª Pen. 5. 8.

4 Ac fe aeth ᵇ mŵg yr arogl-darth gyd â gweddiau'r saint, o law'r angel, i fynu ger bron Duw. ᵇ Psal. 141. 2. Luc 1. 10.

5 A'r angel a gymmerth y thusser, ac a'i llanwodd hi o dân yr allor, ac a'i bwriodd § i'r ddaear: a ᶜ bu lleisiau, a tharanau, a mellt, a daear-gryn. § *ar y.* ᶜ Pen. 16. 18.

6 A'r saith angel, y rhai oedd â'r saith udgorn ganddynt, a ymbarottoisant i udganu.

7 A'r angel cyntaf a udganodd; a bu cenllysg a thân wedi eu cymmysgu â gwaed, a hwy a fwriwyd i'r ddaear: a thraian y ‖ preniau a losgwyd, a'r holl laswellt a losgwyd. ‖ *ddaear.*

8 A'r ail angel a udganodd; a megis mynydd mawr yn llosgi gan dân a fwriwyd i'r môr: a thraian y môr a aeth yn waed;

9 A bu farw traian y creaduriaid y rhai oedd yn y môr, ac â byw ynddynt; a thraian y llongau a ddinystriwyd.

10 A'r trydydd angel a udganodd; a syrthiodd o'r nef seren fawr yn llosgi fel lamp, a hi a syrthiodd ar draian yr afonydd, ac ar ffynhonnau y dyfroedd:

11 Ac enw'r seren a elwir Wermod: ac aeth traian y dyfroedd yn wermod; llawer o ddynion a fuant feirw gan y dyfroedd, oblegid eu myned yn chwerwon.

12 A'r pedwerydd angel a udganodd; a tharawyd traian yr haul, a thraian y lleuad, a thraian y ser; fel y tywyllwyd eu traian hwynt, ac ni lewyrchodd y dydd ei draian, a'r nos yr un ffunud.

13 Ac mi a edrychais, ac a glywais angel yn ehedeg ynghanol y nef, gan ddywedyd â llef † uchel, Gwae, gwae, gwae, i'r rhai sy'n trigo ar y ddaear, rhag lleisiau eraill udgorn y tri angel, y rhai sydd etto i udganu. † *fawr.*

PEN. IX.

1 *Seren yn syrthio o'r nef, wrth udganu o'r pummed angel, i'r hwn y rhoddwyd agoriad y pwll heb waelod:* 2 *yntau yn agoryd y pwll, a locustiaid fel ysgorpionau yn dyfod allan.* 12 *Y mae y wae gyntaf wedi myned heibio.* 13 *Y chweched udgorn yn canu:* 14 *a gollwng pedwar angel yn rhŷdd, y rhai oedd wedi eu rhwymo.*

A'R pummed angel a udganodd; ac mi a welais seren yn syrthio o'r nef i'r ddaear: a rhoddwyd iddo ef agoriad ª y pydew heb waelod. 96. ª Luc 8. 31. Pen. 17. 8.

2 Ac efe a agorodd y pydew heb waelod; a chododd mŵg o'r pydew, fel mŵg ffwrn fawr; a thywyllwyd yr haul a'r awyr gan fŵg y pydew. Adn, 2, 11.

3 Ac o'r mŵg y daeth allan locustiaid ar y ddaear; a rhoddwyd awdurdod iddynt, fel y mae gan ysgorpionau'r ddaear awdurdod.

4 A dywedwyd wrthynt, [b] na wnaent niweid i laswellt y ddaear, nac i ddim gwŷrddlas, nac i un pren; ond yn unig i'r dynion oedd heb [c] sel Duw yn eu talcennau.

[a] Pen. 6. 6. [c] Pen. 7. 3. Edrych Exod. 12. 23. Ezec. 9. 4.

5 A rhoddwyd iddynt na laddent hwynt, ond bod iddynt eu blino hwy bûm mis: ac *y byddai* eu gofid hwy fel gofid oddi wrth ysgorpion, pan ddarfyddai iddi frathu dyn.

6 Ac yn y dyddiau hynny [d] y cais dynion farwolaeth, ac ni's cânt; ac a chwenychant farw, a marwolaeth a gilia oddi wrthynt.

[d] Job 3. 21. Esay 2. 19. Pen. 6. 16.

7 A [e] dull y locustiaid *oedd* debyg i feirch wedi eu parottôi i ryfel; ac *yr oedd* ar eu pennau megis coronau yn debyg i aur, a'u hwynebau fel wynebau dynion.

[e] Joel 2. 4.

8 A gwallt oedd ganddynt fel gwallt gwragedd, [f] a'u dannedd oedd fel *dannedd* llewod.

[f] Joel 1. 6.

9 Ac yr oedd ganddynt lurigau fel llurigau haiarn; a llais eu hadenydd *oedd* fel llais cerbydau llawer o feirch yn rhedeg i ryfel.

10 Ac yr oedd ganddynt gynffonnau tebyg i 'sgorpionau, ac yr oedd colynnau yn eu cynffonnau hwy: a'u gallu *oedd* i ddrygu dynion bûm mis.

11 Ac yr oedd ganddynt frenhin arnynt, *sef* [g] angel y pydew diwaelod: a'i enw ef yn Hebraëg *ydyw* Abàdon, ac yn Roëg y mae iddo enw † Apòlyon.

[g] Adn. 1. † Sef, *dinystrydd.*

12 [h] Un wae a aeth heibio; wele, y mae yn dyfod etto ddwy wae ar ol hyn.

[h] Pen. 8. 13.

13 A'r chweched angel a udganodd; ac mi a glywais lef allan o bedwar corn yr allor aur, yr hon sydd ger bron Duw,

14 Yn dywedyd wrth y chweched angel, yr hwn oedd â'r udgorn ganddo, Gollwng yn rhŷdd y pedwar angel sydd yn rhwym yn yr afon fawr Euphrates.

15 A gollyngwyd y pedwar angel, y rhai oedd wedi eu parottôi ‡ erbyn awr, a diwrnod, a mis, a blwyddyn, fel y lladdent y traian o'r dynion.

‡ *dros.*

16 A [i] rhifedi y llu o wŷr meirch *oedd* ddwy fyrddiwn o fyrddiynau: ac mi a glywais eu rhifedi hwynt.

[i] Psal. 68. 17. Dan. 7. 10.

17 Ac fel hyn y gwelais i y meirch yn y weledigaeth, a'r rhai oedd yn eistedd arnynt, a chanddynt lurigau tanllyd, ac o *liw* hyacinth a brwmstan: a phennau'r meirch *oedd* fel pennau llewod; ac yr oedd yn myned allan o'u safnau, dân, a mŵg, a brwmstan.

18 Gan y tri hyn y § llâs traian y dynion, gan y tân, a chan y mŵg, a chan y brwmstan, oedd yn dyfod allan o'u safnau hwynt.

§ *lladdwyd.*

19 Canys eu gallu hwy sydd yn eu safn, ac yn eu cynffonnau: canys y cynffonnau *oedd* debyg i seirph, a phennau ganddynt; ac â'r rhai hynny y maent yn drygu.

20 A'r dynion eraill, y rhai ni laddwyd gan y plâau hyn, nid edifarhasant oddi wrth weithredoedd eu dwylaw eu hun, fel nad addolent [k] gythreuliaid, a [l] delwau aur, ac arian, a phres, a main, a phreniau, y rhai ni allant na gweled, na chlywed, na rhodio:

[k] Lef. 17. 7. Deut. 32. 17. Psal. 106. 37. 1 Cor. 10. 20. [l] Psal. 115. 4. a 135. 15. Dan. 5. 23.

21 Ac nid edifarhasant oddi wrth eu llofruddiaeth, nac oddi wrth eu cyfareddion, nac oddi wrth eu godineb, nac oddi wrth eu lladrad.

## PEN. X.

1 *Angel cryf cadarn yn ymddangos, a llyfr agored yn ei law:* 6 *ac yn tyngu i'r hwn sydd yn byw yn dragywydd, na bydd amser mwy.* 9 *Gorchymyn i Ioan gymmeryd y llyfr, a'i fwytta.*

AC mi a welais angel cryf arall yn dis- 96
gyn o'r nef, wedi ei wisgo â chwmmwl: ac enfys *oedd* ar ei ben, [a] a'i wyneb *ydoedd* fel yr haul, [b] a'i draed fel colofnau o dân:

[a] Mat. 17. 2. [b] Pen. 1. 15.

2 Ac yr oedd ganddo yn ei law lyfr bychan wedi ei agoryd. Ac efe a osododd ei droed dehau ar y môr, a'i aswy ar y tir;

3 Ac a lefodd â llef † uchel, fel y rhua llew: ac wedi iddo lefain, y saith daran a lefarasant eu llefau hwythau.

† *fawr.*

4 Ac wedi darfod i'r saith daran lefaru eu llefau, yr oeddwn ar fedr ysgrifenu: ac mi a glywais lef o'r nef yn dywedyd wrthyf, [c] Selia y pethau a lefarodd y saith daran, ac na 'sgrifena hwynt.

[c] Dan. 8. 26. a 12. 4, 9.

5 A'r angel yr hwn a welais yn sefyll ar y môr, ac ar y tir, [d] a gododd ei law i'r nef,

[d] Dan. 12. 7.

6 Ac a dyngodd i'r hwn sydd yn byw yn oes oesoedd, yr hwn a greodd y nef a'r pethau sydd ynddi, a'r ddaear a'r pethau sydd ynddi, a'r môr a'r pethau sydd ynddo, na byddai amser mwyach:

7 Ond [e] yn nyddiau llef y seithfed angel, pan ddechreuo efe udganu, gorphenir dirgelwch Duw, fel y mynegodd efe i'w wasanaethwŷr y prophwydi.

[e] Pen. 11. 15.

8 A'r [f] llef a glywais o'r nef, a lefarodd drachefn wrthyf, ac a ddywedodd, Dos, cymmer y llyfr bychan sydd wedi ei agoryd yn llaw 'r angel yr hwn sydd yn sefyll ar y môr, ac ar y tir.

[f] Adn. 4.

9 Ac mi a aethum at yr angel, gan ddywedyd wrtho, Moes i mi y llyfr bychan. Ac efe a ddywedodd wrthyf, [g] Cymmer, a bwytta ef yn llwyr: ac efe a chwerwa dy fol di, eithr yn dy enau y bydd yn felus fel mel.

[g] Ezec. 2. 8. a 3. 1, 3.

10 Ac mi a gymmerais y llyfr bychan o law 'r angel, ac a'i bwytteais ef: ac yr oedd efe yn fy ngenau megis mel yn felus: ac wedi i mi ei fwytta ef, fy mol a aeth yn chwerw.

11 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Rhaid i ti drachefn brophwydo i bobloedd, a chenhedloedd, ‡ ac ieithioedd, a brenhinoedd lawer.

‡ *a thafodau.*

## PEN. XI.

3 *Y ddau dyst yn prophwydo* 6 *bod ganthynt awdurdod i gau'r nef, rhag iddi wlawio:* 7 *yr ymladd y bwystfil yn eu herbyn, ac y lladd hwynt;* 8 *hwythau yn gorwedd heb eu claddu,* 11 *ac ar ol tridiau a hanner yn adgyfodi.* 14 *Yr ail wae yn myned heibio.* 15 *Y seithfed udgorn yn canu.*

A Rhoddwyd i mi [a] gorsen debyg i wïa- 96.
len. A'r angel a safodd, gan ddywedyd, Cyfod, a mesura deml Dduw, a'r allor, a'r rhai sy yn addoli ynddi.

[a] Ezec. 40. 3, &c. Zech. 2. 1.

2 Ond y cyntedd sydd o'r tu allan i'r deml, † bwrw allan, ac na fesura ef: oblegid *efe* a roddwyd i'r Cenhedloedd: a'r ddinas sanctaidd a sathrant hwy [b] ddeufis a deugain.

† Neu, *gâd allan.* [b] Pen. 13. 5.

3 Ac mi a roddaf † *allu* i'm dau dyst, a hwy a brophwydant [c] fil a deucant *a* thrugain o ddyddiau, wedi ymwisgo â sachliain.

4 Y rhai hyn yw [d] y ddwy olew-wŷdden, a'r ddau ganhwyllbren sydd yn sefyll ger bron Duw'r ddaear.

5 Ac os ewyllysia neb wneuthur niweid iddynt, y mae tân yn myned allan o'u genau hwy, ac yn difetha eu gelynion: ac os ewyllysia neb eu drygu hwynt, fel hyn y mae'n rhaid ei ladd ef.

6 [e] Y mae gan y rhai hyn awdurdod i gau y nef, fel na wlawio hi yn nyddiau eu prophwydoliaeth hwynt: ac [f] awdurdod sydd ganddynt ar y dyfroedd, i'w troi hwynt yn waed, ac i daro'r ddaear â phob pla, cyn fynyched ag y mynnont.

7 A phan ddarfyddo iddynt orphen eu tystiolaeth, [g] y bwystfil, yr hwn sydd yn dyfod allan o'r pwll diwaelod, [h] a ryfela â hwynt, ac a'u gorchfyga hwynt, ac a'u lladd hwynt.

8 A'u cyrph hwynt *a orwedd* ar heolydd [i] y ddinas fawr, yr hon yn ysprydol a elwir Sodom a'r Aipht; lle hefyd y croes-hoeliwyd ein Harglwydd ni.

9 A'r rhai o'r bobloedd, a'r llwythau, a'r ‡ ieithioedd, a'r cenhedloedd, a welant eu cyrph hwynt dridiau a hanner, ac ni oddefant roi eu cyrph hwy mewn beddau.

10 A'r rhai sydd yn trigo ar y ddaear a lawenychant o'u plegid, ac a ymhyfrydant, ac a anfonant roddion i'w gilydd; oblegid y ddau brophwyd hyn oedd yn poeni y rhai oedd yn trigo ar y ddaear.

11 Ac ar ol tridiau a hanner, Yspryd bywyd oddi wrth Dduw a aeth i mewn iddynt hwy: a hwy a safasant ar eu traed; ac ofn mawr a syrthiodd ar y rhai a'u gwelodd hwynt.

12 A hwy a glywsant lef § uchel o'r nef yn dywedyd wrthynt, Deuwch i fynu yma. A hwy a aethant i fynu i'r nef mewn cwmmwl; a'u gelynion a edrychasant arnynt.

13 Ac yn yr awr honno y bu daear-gryn mawr, a degfed ran y ddinas a syrthiodd; a lladdwyd yn y ddaear-gryn saith mil o ‖ wŷr: a'r lleill a ddychrynasant, ac a roddasant ogoniant i Dduw'r nef.

14 [k] Yr ail wae a aeth heibio; wele, y mae y drydedd wae yn dyfod ar frys.

15 A'r [l] seithfed angel a udganodd; a bu llefau † uchel yn y nef, yn dywedyd, [m] Aeth teyrnasoedd y byd *yn eiddo* ein Harglwydd ni, a'i Grist ef; ac efe a deyrnasa yn oes oesoedd.

16 A'r [n] pedwar henuriad ar hugain, y rhai oedd ger bron Duw yn eistedd ar eu gorsedd-feingciau, a syrthiasant ar eu hwynebau, ac a addolasant Dduw,

17 Gan ddywedyd, Yr ydym yn diolch i ti, O Arglwydd Dduw Holl-alluog, [o] yr hwn wyt, a'r hwn oeddit, a'r hwn wyt yn dyfod; oblegid ti a gymmeraist dy allu mawr, ac a deyrnasaist.

18 A'r cenhedloedd a ddigiasant; a daeth dy ddig di, ‡ a'r amser i farnu'r meirw, ac i roi gwobr i'th wasanaethwŷr y prophwydi, ac i'r saint, ac i'r rhai sydd yn ofni dy enw, fychain a mawrion; ac i § ddifetha y rhai sydd yn ‖ difetha'r ddaear.

19 Ac agorwyd [p] teml Dduw yn y nef; a gwelwyd arch ei gyfammod ef yn ei deml ef: a [q] bu mellt, a llefau, a tharanau, a daear-gryn, a [r] chenllysg mawr.

† *i'n dau dyst 'ei y prophwydant.* · [c] Pen. 12. 6. · [d] Ier. 11. 16. Zech. 4. 3, 11, 14. · [e] 1 Bren. 17. 1. Iago 5. 10, 17. · [f] Exod. 7. 19. · [g] Pen. 13. 1, 11. a 17. 8. · [h] Dan. 7. 21. Zech. 14. 2. · [i] Pen. 17. 1, 5. a 18. 10. · ‡ *tafodau.* · § *fawr.* · ‖ Gr. *enwau gwŷr.* · [k] Pen. 8. 13. a 9. 12. a 15. 1. · [l] Pen. 10. 7. · † *mawrion.* · [m] Pen. 12. 10. · [n] Pen. 4. 4. a 5. 8. a 19. 4. · [o] Pen. 1. 4. · ‡ *Neu, ac amser y meirw i gael eu barnu.* · § *lygru.* · ‖ *llygru.* · [p] Pen. 15. 5, 8. · [q] Pen. 16. 18. · [r] Pen. 16. 21.

## PEN. XII.

*1 Gwraig wedi ei gwisgo â'r haul yn trafaelu ar ei thymp i esgor. 4 Y ddraig fawr goch yn sefyll o'i blaen hi i ddifa ei phlentyn hi. 6 Wedi iddi esgor, y mae hi yn ffoi i'r anialwch. 7 Michael a'i angylion yn ymladd â'r ddraig, ac yn myned yn drech nâ hi. 13 Y ddraig, wedi ei thaflu i'r ddaear, yn erlid y wraig.*

A † Rhyfeddod mawr a welwyd yn y nef; 96.
gwraig wedi ei gwisgo â'r haul, a'r lleuad dan ei thraed, ac ar ei phen goron o ddeuddeg seren:

2 A hi yn feichiog, a lefodd, gan fod mewn gwewyr, a gofid i esgor.

3 A gwelwyd ‡ rhyfeddod arall yn y nef; ac wele, ddraig goch fawr, â [a] saith ben iddi, a deg corn; ac ar ei phennau saith goron.

4 A'i chynffon hi a dynnodd draian ser y nef, ac a'u bwriodd hwynt i'r ddaear. A'r ddraig a safodd ger bron y wraig yr hon ydoedd yn barod i esgor, i ddifa ei phlentyn hi pan esgorai hi arno.

5 A hi a esgorodd ar fab gwrryw, [b] yr hwn oedd i fugeilio yr holl genhedloedd â gwïalen haiarn: a'i phlentyn hi a gymmerwyd i fynu at Dduw, ac *at* ei orseddfaingc ef.

6 [c] A'r wraig a ffodd i'r diffaethwch, lle mae ganddi le wedi ei barottôi gan Dduw, fel y porthent hi yno [d] fil a deucant *a* thrugain o ddyddiau.

7 A bu rhyfel yn y nef; [e] Michael a'i angylion a ryfelasant yn erbyn y ddraig, a'r ddraig a ryfelodd a'i hangylion hithau,

8 Ac ni orfuant; a'u lle hwynt ni's cafwyd mwyach yn y nef.

9 A bwriwyd allan [f] y ddraig fawr, [g] yr hen sarph, yr hon a elwir Diafol a Satan, yr hwn sydd yn twyllo'r holl fyd: efe a fwriwyd allan i'r ddaear, a'i angylion a fwriwyd allan gyd ag ef.

10 Ac mi a glywais lef § uchel yn dywedyd yn y nef, [h] Yr awrhon y daeth iachawdwriaeth, a nerth, a theyrnas ein Duw ni, a gallu ei Grist ef: canys cyhuddwr ein brodyr ni a fwriwyd i'r llawr, [i] yr hwn oedd yn eu cyhuddo hwy ger bron ein Duw ni ddydd a nos.

11 A [k] hwy a'i gorchfygasant ef trwy waed yr Oen, a thrwy air eu tystiolaeth hwynt; ac ni charasant eu heinioes hyd angau.

12 O herwydd hyn [l] llawenhêwch, y nefoedd, a'r rhai ydych yn trigo ynddynt. Gwae y rhai sydd yn trigo ar y ddaear, a'r môr: canys diafol a ddisgynodd attoch chwi, a chanddo lid mawr, o herwydd ei fod yn gwybod nad oes iddo ond ychydig amser.

13 A phan welodd y ddraig ei bwrw i'r ddaear, hi a erlidiodd y wraig a esgorasai ar y mab.

14 A rhoddwyd i'r wraig ddwy o adenydd eryr mawr, [m] fel yr ehedai hi i'r diffaethwch, i'w lle ei hun: lle yr ydys yn ei maethu hi yno [n] dros amser, ac amseroedd, a hanner amser, oddi wrth wyneb y sarph.

15 A'r sarph [o] a fwriodd allan o'i safn,

† *Ac arwydd.* · ‡ *arwydd.* · [a] Pen. 13. 1. · [b] Psal. 2. 9. Pen. 2. 27. a 19. 15. · [c] Adn. 14. · [d] Pen. 11. 3. Adn. 14. · [e] Dan. 10. 13, 21. a 12. 1. Judas 9. · [f] Luc 10. 18. Ioan 12. 31. · [g] Gen. 3. 1, 4. Pen. 20. 2. · § *fawr.* · [h] Pen. 11. 15. a 19. 1. · [i] Job 1. 9. a 2. 5. Zech. 3. 1. · [k] Esay 58. 9. Rhuf. 8. 33, 34, 37. a 16. 20. · [l] Psal. 96. 11. Esay 49. 13. Pen. 18. 20. · [m] Adn. 6. · [n] Dan. 7. 25. a 12. 7. Adn. 6. · [o] Esay 59. 19.

ar ol y wraig, ddwfr megis afon, fel y gwnai ei dwyn hi ymaith gyd â'r afon.

16 A'r ddaear a gynnorthwyodd y wraig; a'r ddaear a agorodd ei genau, ac a lyngcodd yr afon, yr hon a fwriodd y ddraig allan o'i safn.

17 A llidiodd y ddraig wrth y wraig, ac a aeth i wneuthur rhyfel † â'r lleill o'i had hi, y rhai sydd yn cadw gorchymynion Duw, ac sydd [p] â thystiolaeth Iesu Grist ganddynt.

† *â gweddill ei had hi.*
[p] 1 Cor. 2. 1. 1 Ioan 5. 10. Pen. 9. 10. a 16. 9. a 20. 4.

## PEN. XIII.

1 *Bwystfil yn cyfodi allan o'r môr, â saith pen gantho, a deg corn: i'r hwn y mae y ddraig yn rhoddi ei gallu.* 11 *Bwystfil arall yn dyfod i fynu allan o'r ddaear;* 14 *ac yn peri gwneuthur delw y bwystfil cyntaf;* 15 *ac yn peri i ddynion ei addoli ef,* 16 *a derbyn ei nôd ef.*

96. AC mi a sefais ar dywod y môr; ac a welais [a] fwystfil yn codi o'r môr, [b] a chanddo saith pen, a deg corn; ac ar ei gyrn ddeg coron, ac ar ei bennau † enw cabledd.

2 A'r bwystfil a welais i [c] oedd debyg i lewpard, a'i draed fel *traed* arth, a'i safn fel safn llew: [d] a'r ddraig a roddodd iddo ef ei gallu, a'i gorsedd-faingc, ac awdurdod mawr.

3 Ac mi a welais un o'i bennau ef megis wedi ei ‡ ladd yn farw; a'i friw marwol ef a iachawyd: [e] a'r holl ddaear a ryfeddodd ar ol y bwystfil.

4 A hwy a addolasant y ddraig yr hon a roes allu i'r bwystfil: ac a addolasant y bwystfil, gan ddywedyd, [f] Pwy *sydd* debyg i'r bwystfil? pwy a ddichon ryfela ag ef?

5 A rhoddwyd iddo ef [g] enau yn llefaru pethau mawrion, a chabledd; a rhoddwyd iddo awdurdod i § weithio [h] ddau fis *a* deugain.

6 Ac efe a agorodd ei enau mewn cabledd yn erbyn Duw, i gablu ei enw ef, a'i dabernacl, a'r rhai sy yn trigo yn y nef.

7 A rhoddwyd iddo [i] wneuthur rhyfel â'r saint, a'u gorchfygu hwynt: a rhoddwyd iddo awdurdod ar bob llwyth, ‖ ac iaith, a chenedl.

8 A holl drigolion y ddaear a'i haddolant ef, [k] y rhai nid yw eu henwau yn ysgrifenedig yn llyfr bywyd yr Oen *yr hwn* a laddwyd [l] er dechreuad y byd.

9 [m] Od oes gan neb glust, gwrandawed.

10 [n] Os yw neb yn † tywys i gaethiwed, ‡ efe a â i gaethiwed. [o] Os yw neb yn lladd â chleddyf, rhaid yw ei ladd yntau â chleddyf. [p] Dyma amynedd a ffydd y saint.

11 Ac mi a welais fwystfil arall [q] yn codi o'r ddaear; ac yr oedd ganddo ddau gorn tebyg i oen, a llefaru yr oedd fel draig.

12 A holl allu y bwystfil cyntaf y mae efe yn ei wneuthur ger ei fron ef, ac yn peri i'r ddaear, ac i'r rhai sy yn trigo ynddi, addoli y bwystfil cyntaf, [r] yr hwn yr iachawyd ei glwyf marwol.

13 Ac [s] y mae efe yn gwneuthur § rhyfeddodau mawrion, hyd onid yw yn peri i dân ddisgyn o'r nef i'r ddaear, yngolwg dynion;

14 Ac [t] y mae *efe* yn twyllo y rhai sy yn

[a] Dan. 7. 2, 7. Pen. 12. 3.
[b] Pen. 17. 3, 9, 12.
† *enwau.*
[c] Edrych Dan. 7. 4, 5, 6.
[d] Pen. 12. 9.
‡ *friwo i farwolaeth.*
[e] Pen. 17. 8.
[f] Pen. 18. 18.
[g] Dan. 7. 8, 11, 25. a 11. 36.
§ *barhâu.* neu, *ryfela.*
[h] Pen. 11. 2. a 12. 6.
[i] Dan. 7. 21. Pen. 11. 7.
‖ *a thafod.*
[k] Exod. 32. 32. Phil. 4. 3. Pen. 3. 5. a 20. 12 a 21. 27.
[l] Pen. 17. 8.
[m] Pen. 2. 7.
[n] Esay 33. 1.
† *casglu caethgludiad.*
‡ *y mae efe yn myned.*
[o] Gen. 9. 6. Mat. 26. 52.
[p] Pen. 14. 12.
[q] Pen. 11. 7.
[r] Adn. 3.
[s] Deut. 13. 1, 2, 3. Mat. 24. 24. 2 Thess. 2. 9. Pen. 16. 14.
§ *arwyddion.*
[t] Pen. 12. 9. a 19. 20.

trigo ar y ddaear, trwy ‖ y rhyfeddodau y rhai a roddwyd iddo ef eu gwneuthur ger bron y bwystfil; gan ddywedyd wrth drigolion y ddaear, am iddynt wneuthur delw i'r bwystfil yr hwn a gafodd friw gan gleddyf, ac a fu fyw.

15 A chaniattawyd iddo ef roddi † anadl i ddelw y bwystfil, fel y llefarai delw y bwystfil hefyd, ac y parai gael o'r sawl nid addolent ddelw y bwystfil, eu lladd.

16 Ac y mae yn peri i bawb, fychain a mawrion, cyfoethogion a thlodion, rhyddion a chaethion, ‡ dderbyn nôd ar eu llaw ddehau, neu ar eu talcennau:

17 Ac na allai neb na phrynu na gwerthu, ond yr hwn a fyddai ganddo nôd, neu [u] enw y bwystfil, neu rifedi ei enw ef.

18 [x] Yma y mae doethineb. Yr hwn sydd ganddo ddeall, bwried [y] rifedi y bwystfil: canys rhifedi dyn ydyw: a'i rifedi ef yw, Chwe chant a thrugain a chwech.

‖ *yr arwyddion.*
† *einioes.*
‡ *roddi.*
[u] Pen. 14. 11.
[x] Pen. 17. 9.
[y] Pen. 15. 2.

## PEN. XIV.

1 *Tra'r oedd yr Oen yn sefyll ar fynydd Sion gyd â'i fintai,* 6 *angel yn pregethu'r efengyl.* 8 *Cwymp Babilon.* 15 *Cynhauaf y byd, a dodiad y crymman i mewn.* 20 *Gwin-gynhauaf, a gwin-wryf digofaint Duw.*

AC mi a edrychais; ac wele, Oen yn sefyll ar fynydd Sïon, a chyd ag ef [a] bedair mil *a* saith-ugeinmil, a chanddynt enw ei Dad ef yn ysgrifenedig yn eu talcennau. 96.

2 Ac mi a glywais lef o'r nef, [b] fel llef dyfroedd lawer, ac fel llef taran fawr: ac mi a glywais lef [c] telynorion yn canu ar eu telynau:

3 A [d] hwy a ganasant megis caniad newydd ger bron yr orsedd-faingc, a cher bron y pedwar anifail, a'r henuriaid: ac ni allodd neb ddysgu y gân, ond y pedair mil *a'r* saith-ugeinmil, y rhai a brynwyd oddi ar y ddaear.

4 Y rhai hyn yw y rhai ni halogwyd † â gwragedd: [e] canys gwyryfon ydynt. Y rhai hyn yw y rhai [f] sy'n dilyn yr Oen pa le bynnag yr elo. Y rhai hyn [g] a brynwyd oddi wrth ddynion, [h] yn flaen-ffrwyth i Dduw, ac i'r Oen.

5 Ac [i] yn eu genau ni chaed twyll: canys [k] difai ydynt ger bron gorsedd-faingc Duw.

6 Ac mi a welais angel arall yn ehedeg ynghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo, i efangylu i'r rhai sy yn trigo ar y ddaear, ac i bob cenedl, a llwyth, ‡ ac iaith, a phobl;

7 Gan ddywedyd â llef § uchel, Ofnwch Dduw, a rhoddwch iddo ogoniant; oblegid daeth awr ei farn ef: ac [l] addolwch yr hwn a wnaeth y nef, a'r ddaear, a'r môr, a'r ffynhonnau dyfroedd.

8 Ac angel arall a ddilynodd, gan ddywedyd, [m] Syrthiodd, syrthiodd Babilon, [n] y ddinas fawr honno; oblegid hi a ddïododd yr holl genhedloedd â gwin llid ei godineb.

9 A'r trydydd angel a'u dilynodd hwynt, gan ddywedyd â llef ‖ uchel, Os addola neb y bwystfil, a'i ddelw ef, a derbyn *ei* nôd *ef* yn ei dalcen, neu yn ei law;

10 Hwnnw *hefyd* [o] a yf o win digofaint Duw, yr hwn yn ddigymmysg [p] a dywallt-

[a] Pen. 7. 4.
[b] Pen. 1. 15. a 19. 6.
[c] Pen. 5. 8.
[d] Pen. 5. 9. a 15. 3.
† *gyd â.*
[e] 2 Cor. 11. 2.
[f] Pen. 3. 4. a 17. 14.
[g] Pen. 5. 9.
[h] Iago 1. 18.
[i] Psal. 32. 2. Seph. 3. 13.
[k] Eph. 5. 27.
‡ *a thafod.*
§ *fawr.*
[l] Neh. 9. 6. Psal. 146. 5, 6. Act. 14. 15. a 17. 24.
[m] Esay 21. 9. Jer. 51. 8. Pen. 18. 2.
[n] Pen. 11. 8. a 16. 19. a 17. 5. a 18. 10, 21.
‖ *fawr.*
[o] Psal. 75. 8. Esay 51. 17. Jer. 25. 15.
[p] Pen. 18. 6.

wyd yn [q] phïol ei lid ef; ac [r] efe a boenir
mewn [s] tân a brwmstan yngolwg yr angylion
sanctaidd, ac yngolwg yr Oen:

11 A [t] mwg eu poenedigaeth hwy sydd
yn myned i fynu yn oes oesoedd: ac nid
ydynt hwy yn cael gorphwysdra ddydd na
nos, y rhai sydd yn addoli y bwystfil a'i
ddelw ef, ac os yw neb yn derbyn nôd ei
enw ef.

12 [u] Yma y mae amynedd y saint: yma
*y mae* y rhai sy yn cadw gorchymynion
Duw, a ffydd Iesu.

13 Ac mi a glywais lef o'r nef, yn dywed-
yd wrthyf, Ysgrifena, Gwŷn eu byd y
meirw y rhai [x] sy yn marw yn yr Arglwydd,
o hyn allan, medd yr Yspryd, fel y gorph-
wysont oddi wrth eu llafur; a'u gweithred-
oedd sy † yn eu canlyn hwynt.

14 Ac mi a edrychais; ac wele gwm-
mwl gwŷn; ac ar y cwmmwl *un* yn eis-
tedd [y] tebyg i Fab y dyn, a chanddo ar ei
ben goron o aur, ac yn ei law grymman
llym.

15 Ac angel arall a ddaeth allan o'r deml,
gan lefain â llef ‡ uchel wrth yr hwn oedd
yn eistedd ar y cwmmwl, [z] Bwrw dy grym-
man i mewn, a § meda: canys daeth yr
amser i ti || fedi; oblegid † addfedodd cyn-
hauaf y ddaear.

16 A'r hwn oedd yn eistedd ar y cwm-
mwl a fwriodd ei grymman ar y ddaear;
a'r ddaear a fedwyd.

17 Ac angel arall a ddaeth allan o'r deml
sydd yn y nef, a chanddo yntau hefyd
grymman llym.

18 Ac angel arall a ddaeth allan oddi
wrth yr allor, yr hwn oedd â gallu gan-
ddo ar y tân; ac a lefodd â bloedd ‡ uchel
ar yr hwn oedd â'r crymman llym ganddo,
gan ddywedyd, Bwrw i mewn dy grymman
llym, a chasgl gangheunau gwinwŷdd-
en y ddaear; oblegid addfedodd ei grawn
hi.

19 A'r angel a fwriodd ei grymman ar y
ddaear, ac a gasglodd winwŷdden y ddaear,
ac a'i bwriodd i [a] gerwyn fawr digofaint
Duw.

20 A'r [b] gerwyn a sathrwyd o'r tu allan
i'r ddinas; a gwaed a ddaeth allan o'r ger-
wyn, hyd at ffrwynau y meirch, ar hŷd mil
*a* chwe chant o 'stadau

q Pen. 16. 19. — r Pen. 20. 10. — s Pen. 19. 20. — t Esay 34. 10. Pen. 19. 3. — u Pen. 13. 10. — x 1 Cor. 15. 18. 1 Thess. 4. 17. — † *yn canlyn gyd â hwynt.* — y Pen. 1. 13. — ‡ *fawr.* — z Joel 3. 13. Mat. 13. 39. — § *chynhauafa.* — || *gynhauafu.* — † *sychodd.* — ‡ *fawr.* — a Pen. 19. 15. — b Esay 63. 3. Galar. 1. 15.

## PEN. XV.

1 *Y saith angel â'r saith bla diweddaf.*
3 *Caniad y rhai a orchfygant y bwystfil.*
7 *Y saith phïol yn llawn o ddigofaint*
*Duw.*

96. AC mi a welais arwydd arall yn y nef,
mawr a rhyfeddol; saith angel a chand-
dynt y saith bla diweddaf: oblegid ynddynt
hwy y cyflawnwyd llid Duw.

2 Ac mi a welais megis [a] môr o wydr,
wedi ei gymmysgu â thân; a'r rhai oedd yn
cael y maes ar y bwystfil, ac ar ei ddelw ef,
ac ar ei nôd ef, *ac* ar rifedi ei enw ef, yn
sefyll ar y môr gwydr, [b] a thelynau Duw
ganddynt.

3 A chanu y maent [c] gân Moses gwas-
anaethwr Duw, a chân yr Oen; gan ddy-
wedyd, [d] Mawr a rhyfedd *yw* dy weith-
redoedd, O Arglwydd Dduw Hollalluog;
[e] cyfiawn a chywir *yw* dy ffyrdd di, Bre-
nhin † y saint.

4 [f] Pwy ni'th ofna di, O Arglwydd, ac
*ni* ogonedda dy enw? oblegid *tydi* yn
unig *wyt* sanctaidd: oblegid [g] yr holl ge-

a Pen. 4. 6. a 21. 18. — b Pen. 5. 8. a 14. 2. — c Exod. 15. 1. — d Psal. 111. 2. a 139. 14. — e Psal. 145. 17. Pen. 16. 7. — † *cenhedloedd, neu, oesoedd.* — f Exod. 15. 14, 15. Jer. 10. 7. — g Esay 66. 23.

nhedloedd a ddeuant ac a addolant ger
dy fron di; oblegid dy farnau di a eglur-
wyd.

5 Ac ar ol hyn mi a edrychais; ac wele,
yr ydoedd [h] teml pabell y dystiolaeth yn y
nef yn agored:

6 A daeth y saith angel, y rhai yr oedd
y saith bla ganddynt, allan o'r deml, wedi
eu gwisgo mewn lliain pur a disglair, a
[i] gwregysu eu dwyfronnau â gwregysau
aur.

7 Ac un o'r pedwar anifail a roddodd i'r
saith angel saith phïol aur, yn llawn o ddi-
gofaint Duw, yr hwn sydd yn byw yn oes
oesoedd.

8 A llanwyd [k] y deml o fŵg oddi wrth
ogoniant Duw, ac oddi wrth ei nerth ef: ac
ni allai neb fyned i mewn i'r deml, nes dar-
fod cyflawni saith bla y saith angel.

h Pen. 11. 19. Edrych Num. 1. 50. — i Exod. 28. 6, 8. Ezec. 44. 17, 18. Pen. 1. 13. — k Exod. 40. 34. 1 Bren. 8. 10. Esay 6. 4.

## PEN. XVI.

1 *Yr angylion yn tywallt allan eu phïolcidiau*
*digofaint.* 6 *Y plaau yn canlyn ar hyn.*
15 *Crist yn dyfod fel lleidr. Gwŷn eu byd*
*y rhai a wyliant.*

AC mi a glywais lef † uchel allan o'r 96.
deml, yn dywedyd wrth y saith angel,
Ewch ymaith, a thywelltwch phïolau dig-
ofaint Duw ar y ddaear.

2 A'r cyntaf a aeth, ac a dywalltodd ei
phïol ar y ddaear; a [a] bu cornwyd drwg
a blin ar y dynion [b] oedd â nôd y bwyst-
fil arnynt, a'r rhai [c] a addolasent ei ddelw
ef.

3 A'r ail angel a dywalltodd ei phïol
ar y môr; ac [d] efe a aeth fel gwaed dyn
marw: a phob enaid byw a fu farw yn y
môr.

4 A'r trydydd angel a dywalltodd ei
phïol ar yr afonydd ac *ar y* ffynhonnau dy-
froedd; a hwy a aethant yn waed.

5 A mi a glywais angel y dyfroedd yn
dywedyd, Cyfiawn, O Arglwydd, ydwyt
ti, [e] yr hwn wyt, a'r hwn oeddit, ‡ a'r hwn
a fyddi; oblegid barnu o honot y pethau
hyn.

6 Oblegid [f] gwaed saint a phrophwydi
a dywalltasant hwy, a gwaed a roddaist
iddynt i'w yfed; canys y maent yn ei
haeddu.

7 Ac mi a glywais un arall allan o'r
allor yn dywedyd, Ië, [g] Arglwydd Dduw
Holl-alluog, cywir a chyfiawn *yw* dy farnau
di.

8 A'r pedwerydd angel a dywalltodd ei
phïol ar yr haul; a gallu a roed iddo i bo-
ethi dynion â thân.

9 A § phoethwyd y dynion â gwres
mawr; a [h] hwy a gablasant enw Duw, yr
hwn sydd ag awdurdod ganddo ar y plaau
hyn: ac nid edifarhasant, i roi gogoniant
iddo ef.

10 A'r pummed angel a dywalltodd ei
phïol ar orsedd-fainge y bwystfil; a'i deyr-
nas ef a aeth yn dywyll: a hwy a gnoisant
eu tafodau gan ofid,

11 Ac [i] a gablasant Dduw y nef, o her-
wydd eu poenau, ac o herwydd eu corn-
wydydd; ac nid edifarhasant oddi wrth eu
gweithredoedd.

12 A'r chweched angel a dywalltodd ei
phïol ar yr afon fawr Euphratês; a [k] sych-
odd ei dwfr hi, fel y parottôid ffordd bre-
nhinoedd || y dwyrain.

13 Ac mi a welais dri yspryd aflan tebyg
i lyffaint *yn dyfod* allan o safn [l] y ddraig a

† *fawr.* — a Exod. 9. 9. — b Pen. 13. 16, 17. — c Pen. 13. 14. — d Exod. 7. 17, 20. — e Pen. 1. 4, 8. a 4. 8. a 11. 17. — ‡ *Neu, a sanctaidd.* — f Mat. 23. 34. Pen. 13. 15. — g Pen. 15. 3. — § *llosgwyd.* — h Adn. 11, 21. — i Adn. 9, 21. — k Edrych Jer. 50. 38 a 51. 32. Pen. 17. 5. — || *Gr. y rhai sydd o godiad haul.* — l Pen. 12.

ac allan o safn y bwystfil, ac allan o enau [m] y gau-brophwyd.

14 Canys ysprydion cythreuliaid, [n] yn gwneuthur gwyrthiau, ydynt, y rhai sy 'n myned allan at frenhinoedd y ddaear, a'r holl fyd, i'w casglu hwy i [o] ryfel y dydd hwnnw, *dydd* mawr Duw Holl-alluog.

15 [p] Wele, yr wyf fi yn dyfod fel lleidr. Gwŷn ei fyd yr hwn sydd yn gwylio, ac yn cadw ei ddillad, [q] fel na rodio yn noeth, ac iddynt weled ei anharddwch ef.

16 Ac efe a'u casglodd hwynt ynghŷd i le a elwir yn Hebraeg, Armagedon.

17 A'r seithfed angel a dywalltodd ei phïol i'r awyr; a daeth llef † uchel allan o deml y nef, oddi wrth yr orsedd-faingc, yn dywedyd, [r] Darfu.

18 Ac [s] yr oedd lleisiau, a tharanau, a mellt; ac yr oedd daear-gryn mawr, y fath ni bu er pan yw dynion ar y ddaear, cymmaint daear-gryn, *ac* mor fawr.

19 A [t] gwnaethpwyd y ddinas fawr yn dair rhan, a dinasoedd y cenhedloedd a syrthiasant: a Babilon fawr [u] a ddaeth mewn cof ger bron Duw, [x] i roddi iddi gwppan gwin digofaint ei lid ef.

20 A [y] phob ynys a ffodd ymaith, ac ni chafwyd y mynyddoedd.

21 [z] A chenllysg mawr, ‡ fel talentau, a syrthiasant o'r nef ar ddynion: a [a] dynion a gablasant Dduw am bla'r cenllysg; oblegid mawr iawn ydoedd eu pla hwynt.

m Pen. 19. 20. a 20. 10. Adn. 14. — n 2 Thess. 2. 9. Pen. 13. 13. a 19. 20. — o Pen. 17. 14. a 19. 19. a 20. 8. — p Mat. 24. 45. Pen. 3. 3. — q 2 Cor. 5. 3. Pen. 3. 4, 18. — † fawr. — r Pen. 21. 6. — s Pen. 4. 5. a 8. 5. a 11. 19. — t Pen. 14. 8. — u Pen. 18. 5. — x Esay 51. 23. Jer. 25. 15, 16. Pen. 14. 10. — y Pen. 6. 14. — z Pen. 11. 19. — ‡ o bwys talentau. — a Adn. 9, 11.

## PEN. XVII.

*3, 4 Gwraig wedi ei gwisgo â phorphor ac ysgarlad, a chwppan aur yn ei llaw, yn eistedd ar y bwystfil; 5 yr hon yw Babilon fawr, mam pob ffieidd-dra. 9 Deongliad y saith ben; 12 a'r deg corn. 14 Goruchafiaeth yr Oen. 16 Cospedigaeth y buttain.*

96.

A Daeth un o'r saith angel oedd â'r saith phïol ganddynt, ac a ymddiddanodd â mi, gan ddywedyd wrthyf, Tyred, mi a ddangosaf i ti farnedigaeth [a] y buttain fawr [b] sydd yn eistedd ar ddyfroedd lawer;

2 [c] Gyd â'r hon y putteiniodd brenhinoedd y ddaear, ac [d] y meddwyd y rhai sy yn trigo ar y ddaear gan win ei phutteindra hi.

3 Ac efe a'm dygodd i i'r diffaethwch yn yr yspryd: ac mi a welais wraig yn eistedd ar fwystfil o liw ysgarlad, yn llawn o [e] enwau cabledd, â [f] saith ben [g] iddo, a deg corn.

4 A'r wraig [h] oedd wedi ei dilladu â phorphor ac ysgarlad, ac wedi ei † gwŷchu ag aur, ac â main gwerthfawr, a pherlau, a chanddi gwppan aur yn ei llaw, yn llawn o ffieidd-dra ac aflendid ei phutteindra.

5 Ac ar ei thalcen *yr oedd* enw wedi ei 'sgrifenu, [i] DIRGELWCH, BABILON FAWR, MAM ‡ PUTTEINIAID, A FFIEIDD-DRA'R DDAEAR.

6 Ac mi a welais [k] y wraig yn feddw gan waed y saint, a chan waed merthyron Iesu: a phan ei gwelais, mi a ryfeddais â rhyfeddod mawr.

7 A'r angel a ddywedodd wrthyf, Paham y rhyfeddaist? myfi a ddywedaf i ti ddirgelwch y wraig, a'r bwystfil sydd yn ei dwyn hi, yr hwn sy â'r saith ben ganddo, a'r deg corn.

8 Y bwystfil a welaist, a fu, ac nid yw; a [l] bydd iddo ddyfod i fynu o'r pydew heb waelod, a [m] myned i ddistryw: a [n] rhyfeddu a wna y rhai sy yn trigo ar y ddaear ([o] y rhai ni 'sgrifenwyd eu henwau yn llyfr y bywyd er seiliad y byd) pan welont y bwystfil, yr hwn a fu, ac nid yw, § er ei fod.

9 [p] Dyma 'r meddwl sydd â doethineb ganddo. [q] Y saith ben, saith fynydd ydynt, lle mae'r wraig yn eistedd arnynt.

10 Ac y ‖ mae saith frenhin: pump a gwympasant, ac un sydd, *a*'r llall ni ddaeth etto; a phan ddêl, rhaid iddo aros ychydig.

11 A'r bwystfil, yr hwn oedd, ac nid ydyw, yntau yw'r wythfed, ac o'r saith y mae, ac i ddistryw y mae yn myned.

12 [r] A'r deg corn a welaist, deg brenhin ydynt, y rhai ni dderbyniasant frenhiniaeth etto; eithr awdurdod fel brenhinoedd, un awr, y maent yn ei dderbyn gyd â'r bwystfil.

13 Yr un meddwl sydd i'r rhai hyn, a *hwy* a roddant eu nerth a'u hawdurdod i'r bwystfil.

14 [s] Y rhai hyn a ryfelant â'r Oen, a'r Oen a'u gorchfyga hwynt: oblegid [t] Arglwydd arglwyddi ydyw, a Brenhin brenhinoedd; a'r rhai sy gyd ag ef, *sydd* alwedig, ac etholedig, a ffyddlon.

15 Ac efe a ddywedodd wrthyf, [u] Y dyfroedd a welaist, lle mae'r buttain yn eistedd, pobloedd a thorfeydd ydynt, a chenhedloedd † ac ieithioedd.

16 A'r deg corn a welaist ar y bwystfil, y rhai hyn a gasânt y buttain, ac a'i gwnant hi yn unig ac yn noeth, a'i chnawd hi a fwyttânt hwy, ac [x] a'i llosgant hi â thân.

17 Canys Duw a roddodd yn eu calonnau hwynt wneuthur ei ewyllys ef, a gwneuthur yr un ewyllys, a rhoddi eu teyrnas i'r bwystfil, hyd oni chyflawner geiriau Duw.

18 A'r wraig a welaist, [y] yw y ddinas fawr, sydd yn teyrnasu ar frenhinoedd y ddaear.

a Nah. 3. 4. Pen. 19. 2. — b Jer. 51. 13. Adn. 15. — c Pen. 18. 3. — d Jer. 51. 7. Pen. 14. 8. a 18. 3. — e Pen. 13. 1. — f Adn. 9. — g Adn. 12. — h Pen. 18. 12, 16. — † goreuro. — i 2 Thess. 2. 7. — ‡ puttein-dra. — k Pen. 18. 24. — l Pen. 13. 1. — m Pen. 13. 10. — n Pen. 13. 3. — o Pen. 13. 8. — § ac a fydd. — p Pen. 13. 18. — q Pen. 13. 1. — ‖ maent yn. — r Dan. 7. 20. Zech. 1. 18, 19, 21. Pen. 13. 1. — s Pen. 16. 14. a 19. 19. — t Deut. 10. 17. 1 Tim. 6. 15. Pen. 19. 16. — u Esay 8. 7. — † a thafodau. — x Pen. 18. 8. — y Pen. 16. 19.

## PEN. XVIII.

*2 Cwymp Babilon: 4 gorchymyn pobl Dduw i gilio allan o honi hi: 9 brenhinoedd y ddaear, 11 gyd â'r marsiandwŷr, a'r llongwŷr, yn ddrwg ganddynt drosti hi: 20 y saint yn llawenychu, o achos barn Duw arni hi.*

96.

AC ar ol y pethau hyn mi a welais angel arall yn dyfod i wared o'r nef, ag awdurdod mawr ganddo; a'r ddaear a oleuwyd gan ei ogoniant ef.

2 Ac efe a lefodd yn groch â llef † uchel, gan ddywedyd, [a] Syrthiodd, syrthiodd Babilon fawr honno, ac [b] aeth yn drigfa cythreuliaid, ac yn gadwriaeth pob yspryd aflan, ac [c] yn gadwriaeth pob aderyn aflan ac atgas.

3 Oblegid yr holl genhedloedd [d] a yfasant o win digofaint ei godineb hi, a brenhinoedd y ddaear a butteiniasant gyd â hi, a marchnattawŷr y ddaear a gyfoethogwyd gan ‡ amlder ei moethau hi.

4 Ac mi a glywais lef arall o'r nef yn dywedyd, [e] Deuwch allan o honi hi, fy mhobl i, fel na byddoch gyd-gyfrannogion o'i phechodau hi, ac na dderbynioch o'i phlaau hi.

† fawr. — a Esay 21. 9. Jer. 51. 8. Pen. 14. 8. — b Esay 13. 21. a 21. 8. a 34. 14. Jer. 50. 39. a 51. 37. — c Esay 34. 11. Marc 5. 2, 3. — d Pen. 14. 8. a 17. 2. — ‡ nerth. — e Esay 48. 20. a 52. 11. Jer. 50. 8. a 51. 6, 45. 2 Cor. 6. 17.

5 Oblegid ei phechodau hi a gyrhaedd-
asant hyd y nef, a [f] Duw a gofiodd ei han-
wireddau hi.
6 [g] Telwch iddi fel y talodd hithau i
chwi, a dyblwch iddi y dau cymmaint yn
ol ei gweithredoedd: [h] yn y cwppan
a lanwodd hi, llenwch iddi yn ddau-ddy-
blyg.
7 Cymmaint ag yr ymogoneddodd hi,
ac y bu mewn moethau, y cymmaint arall
rhoddwch iddi o † ofid a galar: oblegid y
mae hi yn dywedyd yn ei chalon, Yr wyf
yn eistedd yn [i] frenhines; a gweddw nid
ydwyf, a galar ni's gwelaf ddim.
8 Am hynny yn un dydd y daw ei phlaau
hi, *sef* marwolaeth, a galar, a newyn; a
[k] hi a lwyr-losgir â thân: oblegid cryf *yw*
yr Arglwydd Dduw, yr hwn sydd yn ei
barnu hi.
9 Ac wylo am dani, a galaru drosti, a
wna [l] brenhinoedd y ddaear, y rhai a
butteiniasant, ac a fuant fyw yn foethus
gyd â hi, [m] pan welont fŵg ei llosgiad
hi,
10 Gan sefyll o hirbell, gan ofn ei ‡ gofid
hi, a dywedyd, [n] Gwae, gwae, y ddinas
fawr honno, Babilon, y ddinas gadarn!
oblegid mewn un awr y daeth dy farn
di.
11 A [o] marchnattawŷr y ddaear a wyl-
ant ac a alarant drosti; oblegid nid oes
neb mwyach yn prynu eu marsiandïaeth
hwynt:
12 Marsiandïaeth o aur, ac arian, a
meini gwerthfawr, a pherlau, a llïain
main, a phorphor, a sidan, ac ysgarlad, a
phob coed § thynon, a phob llestr o ifori,
a phob llestr o goed gwerthfawr iawn,
ac o bres, ac *o* haiarn, ac *o* faen mar-
mor,
13 A sinamon, a pher-aroglau, ac en-
naint, a thus, a gwin, ac olew, a pheilliaid, a
gwenith, ac ysgrubliaid, a defaid, a meirch,
a cherbydau, a ‖ chaeth-weision, ac [p] enei-
diau dynion.
14 A'r aeron a chwennychodd dy enaid, a
aethant ymaith oddi wrthyt, a phob peth
dainteithiol a gwŷch a aethant ymaith
oddi wrthyt; ac ni chai hwynt ddim
mwyach.
15 Marchnattawŷr y pethau hyn, y rhai
a gyfoethogwyd ganddi, a safant o hirbell
oddi wrthi, gan ofn ei † gofid hi, gan wylo a
galaru,
16 A dywedyd, Gwae, gwae, y ddinas
fawr honno, [q] yr hon oedd wedi ei gwisgo â
llïain main, a phorphor, ac ysgarlad, ac
wedi ei ‡ gwŷchu ag aur, a meini gwerth-
fawr, a pherlau!
17 Oblegid mewn un awr yr anrheith-
iwyd cymmaint cyfoeth. A [r] phob llong-
lywydd, a phob cwmpeini mewn llongau, a
llongwŷr, a chynnifer ag y sydd â'u gwaith ar
y môr, a safasant o hirbell,
18 Ac a lefasant, [s] pan welsant fŵg ei
llosgiad hi, gan ddywedyd, [t] Pa *ddinas*
debyg i'r ddinas fawr honno!
19 A [u] hwy a fwriasant lwch ar eu pen-
nau, ac a lefasant, gan wylo a galaru, *a*
dywedyd, Gwae, gwae, y ddinas fawr hon-
no, yn yr hon y cyfoethogodd yr holl rai
oedd ganddynt longau ar y môr, § trwy ei
chost hi! oblegid mewn un awr yr anrhei-
thiwyd *hi*.
20 [x] Llawenhâ o'i phlegid hi, y nef, a

[f] Pen. 16. 19.
[g] Psal. 137. 8. Jer. 50. 15, 29.
2 Tim. 4. 14.
Pen. 13. 10.
[h] Pen. 14. 10.
† boenedigaeth.
[i] Esay 47. 7, 8.
[k] Pen. 17. 16.
[l] Ezec. 26. 16, 17. Pen. 17. 2. Adn. 3.
[m] Adn. 18. Pen. 19. 3.
‡ phoenedigaeth.
[n] Esay 21. 9. Pen. 14. 8.
[o] Ezec. 27. 27—36. Adn. 3.
§ peraidd.
‖ chyrph.
[p] Ezec. 27. 13.
† phoenedigaeth.
[q] Pen. 17. 4.
‡ goreuro.
[r] Esay 23. 14. Ezec. 27. 29.
[s] Adn. 9.
[t] Pen. 13. 4.
[u] Jos. 7. 16. Job 2. 12.
§ o herwydd ei thraul hi.
[x] Esay 44. 23. a 49. 13. Jer. 51. 48.

chwi, apostolion sanctaidd a prophwydi;
oblegid ‖ [y] dïalodd Duw arni drosoch
chwi.
21 Ac angel cadarn a gododd faen megis
maen melin mawr, ac a'i bwriodd i'r môr,
gan ddywedyd, [z] Fel hyn gyd â rhuthr y
teflir Babilon y ddinas fawr, ac ni cheir hi
mwyach.
22 A [a] llais telynorion, a cherddorion,
a phibyddion, ac udganwŷr, ni chlywir
ynot mwyach; ac un crefftwr, o ba grefft
bynnag *y bo*, ni cheir ynot mwyach; a
thrwst maen melin ni chlywir ynot mwy-
ach;
23 A llewyrch canwyll ni welir ynot
mwyach; a llais prïodas-fab a phriodas-
ferch ni chlywir ynot mwyach: oblegid
[b] dy farchnattawŷr di oedd wŷr mawr
y ddaear; oblegid trwy dy swyn-gy-
faredd di y twyllwyd yr holl genhedl-
oedd.
24 Ac [c] ynddi y caed gwaed prophwydi
a saint, a phawb a'r a laddwyd ar y
ddaear.

## PEN. XIX.

1 *Clodfori Duw yn y nefoedd, am farnu y buttain fawr, a dial gwaed ei saint.* 7 *Prïodas yr Oen.* 10 *Yr angel heb fynnu ei addoli.* 17 *Galw'r ehediaid i'r ludd fa fawr.*

AC ar ol y pethau hyn mi a glywais me- 96.
gis llef uchel gan dyrfa fawr yn y nef,
yn dywedyd, Aleluia: [a] Iachawdwriaeth, a
gogoniant, ac anrhydedd, a gallu, i'r Ar-
glwydd ein Duw ni:
2 Oblegid [b] cywir a chyfiawn *yw* ei far-
nau ef: oblegid efe a farnodd y buttain
fawr, yr hon a lygrodd y ddaear â'i phut-
teindra, ac [c] a ddïalodd waed ei weision ar
ei llaw hi.
3 Ac eilwaith y dywedasant, Aleluia.
[d] A'i mŵg hi a gododd yn oes oesoedd.
4 A syrthiodd [e] y pedwar henuriad ar
hugain, a'r pedwar anifail i lawr, ac a
addolasant Dduw, yr hwn oedd yn eistedd
ar yr orsedd-fainc; gan ddywedyd, Amen;
Aleluia.
5 A llef a ddaeth allan o'r orsedd-faingc,
yn dywedyd, Moliennwch ein Duw ni, ei
holl weision ef, a'r rhai ydych yn ei ofni ef,
bychain a mawrion hefyd.
6 Ac mi a glywais megis llef tyrfa fawr,
ac megis llef dyfroedd lawer, ac megis llef
taranau cryfion, yn dywedyd, Aleluia:
[f] oblegid teyrnasodd yr Arglwydd Dduw
Holl-alluog.
7 Llawenychwn, a gorfoleddwn, a rhodd-
wn ogoniant iddo ef: oblegid daeth [g] priod-
as yr Oen, a'i wraig ef a'i parottôdd ei
hun.
8 A [h] chaniattawyd iddi gael ei gwisgo
â llïain main glân a disglair: canys y llïain
main ydyw cyfiawnder y saint.
9 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ysgrifena,
[i] Bendigedig *yw* y rhai a elwir i swpper
neithior yr Oen. Ac efe a ddywedodd
wrthyf, [k] Gwir eiriau Duw yw y rhai
hyn.
10 Ac [l] mi a syrthiais wrth ei draed
ef, i'w addoli ef. Ac efe a ddywedodd
wrthyf, [m] Gwel na *wnelych hyn*: cyd-was
ydwyf i ti, ac i'th frodyr [n] y rhai sy gan-
ddynt dystiolaeth Iesu. Addola Dduw: ca-
nys tystiolaeth Iesu ydyw yspryd y bro-
phwydoliaeth.

‖ *barnodd Duw eich barn chwi arni o hon hi.*
[y] Luc 11. 49, 50. Pen. 19. 2.
[z] Jer. 51. 64.
[a] Esay 24. 8. Jer. 7. 34. a 16. 9. a 25. 10. Ezec. 26. 13.
[b] Esay 23. 8.
[c] Pen. 17. 6.
Holl Saint, P. hyd w. 17.
[a] Pen. 7. 10. a 12. 10.
[b] Pen. 15. 3. a 16. 7.
[c] Deut. 32. 43. Pen. 18. 20.
[d] Esay 34. 10. Pen. 14. 11. a 18. 9, 18.
[e] Pen. 4. 4, 6.
[f] Pen. 11. 15. a 12. 10.
[g] Mat. 22. 2. a 25. 10.
[h] Psal. 45. 13, 14. Ezec. 16. 10. Pen. 3. 18. a 21. 2, 9.
[i] Mat. 22. 2. Luc 14. 15.
[k] Pen. 21. 5. a 22. 6.
[l] Pen. 22. 8.
[m] Act. 10. 26. a 14. 14. Pen. 22. 9.
[n] 1 Ioan 5. 10. Pen. 12. 17.

11 Ac mi a welais y nef yn agored; ac
wele ° farch gwyn; a'r hwn oedd yn eistedd
arno a elwid ᵖ Ffyddlon a Chywir, ac mewn
cyfiawnder y mae efe yn barnu ac yn rhy-
fela.
12 ᑫ A'i lygaid *oedd* fel fflam dân, ac ar
ei ben yr oedd coronau lawer: ac yr oedd
ganddo enw yn ysgrifenedig, yr hwn ni
wyddai neb ond efe ei hun:
13 Ac ʳ *yr oedd* wedi ei wisgo â gwisg
wedi ei throchi mewn gwaed: a gelwir ei
enw ef, ˢ Gair Duw.
14 A'r lluoedd oedd yn y nef a'i canlyn-
asant ef ar feirch gwynion, ᵗ wedi eu gwisgo
â lliain main, gwyn, a glân.
15 Ac ᵘ allan o'i enau ef yr oedd yn
dyfod gleddyf llym, i daro y cenhedloedd
ag ef: ac efe ˣ a'u bugeilia hwynt â
gwialen haiarn: ac ʸ efe sydd yn sathru
cerwyn win digofaint a llid Duw Holl-al-
luog.
16 Ac y mae ganddo ar ei wisg, ac
ar ei forddwyd enw wedi ei 'sgrifenu,
ᶻ BRENHIN BRENHINOEDD, AC AR-
GLWYDD ARGLWYDDI.
17 Ac mi a welais angel yn sefyll yn
yr haul; ac efe a lefodd â llef † uchel,
gan ddywedyd wrth yr holl adar oedd
yn ehedeg ‡ trwy ganol y nef, ᵃ Deuwch
ac ymgesglwch ynghŷd i swpper y Duw
mawr;
18 Fel y bwyttaoch gig brenhinoedd, a
chig pen-capteniaid, a chig y cedyrn, a chig
meirch, a'r rhai sy yn eistedd arnynt, a chig
holl ryddion a chaethion, a bychain a maw-
rion.
19 Ac mi a welais y bwystfil a brenhin-
oedd y ddaear, a'u lluoedd wedi ymgyn-
null ynghŷd i wneuthur rhyfel yn erbyn
yr hwn oedd yn eistedd ar y march, ac yn
erbyn ei lu ef.
20 A daliwyd y bwystfil, a chyd ag ef ᵇ y
gau-brophwyd, yr hwn a wnaeth wyrth-
iau ger ei fron ef, trwy y rhai y twyllodd
efe y rhai a dderbyniasent nôd y bwystfil,
ᶜ a'r rhai a addolasent ei ddelw ef. ᵈ Yn
fyw y bwriwyd hwy ill dau i'r llyn tân ᵉ yn
llosgi â brwmstan.
21 A'r lleill a laddwyd â ᶠ chleddyf yr
hwn oedd yn eistedd ar y march, yr hwn
oedd yn dyfod allan o'i enau ef: a'r holl
adar a gawsant eu gwala o'u cig hwynt.

Cross-references: ° Pen. 6. 2. ᵖ Pen. 3. 14. ᑫ Pen. 1. 14. a 2. 18. ʳ Esay 63. 2, 3. ˢ Ioan 1. 1. 1 Ioan 5. 7. ᵗ Mat. 28. 3. Pen. 4. 4. a 7. 9. ᵘ Pen. 1. 16. Adn. 21. ˣ Psal. 2. 9. Pen. 2. 27. a 12. 5. ʸ Esay 63. 3. Pen. 14. 19, 20. ᶻ Dan. 2. 47. 1 Tim. 6. 15. Pen. 17. 14. † *fawr.* ‡ *yngha-nol.* ᵃ Ezec. 39. 18. ᵇ Pen. 20. 10. ᶜ Pen. 13. 15. ᵈ Pen. 20. 10. Edrych Dan. 7. 11. ᵉ Pen. 14. 10. ᶠ Pen. 17. 16.

## PEN. XX.

*2 Rhwymo Satan dros fil o flynyddoedd. 5 Yr adgyfodiad cyntaf: 6 mai gwyn eu byd y rhai sydd iddynt gyfran ynddo. 7 Gollwng Satan yn rhydd drachefn. 8 Gog a Magog. 10 Bwrw diafol i'r pwll o dân a brwmstan. 12 Yr adgyfodiad diweddaf cyffredinol.*

96.
AC mi a welais angel yn disgyn o'r nef,
a ᵃ chanddo agoriad y pydew diwaelod,
a chadwyn fawr yn ei law.
2 Ac efe a ddaliodd ᵇ y ddraig, yr hen
sarph, yr hon yw diafol a Satan, ac a'i
rhwymodd ef *dros* fil o flynyddoedd,
3 Ac a'i bwriodd ef i'r pydew diwaelod,
ac a gauodd arno, ac a seliodd arno ef, ᶜ fel
na thwyllai efe y cenhedloedd mwyach, nes
cyflawni'r mil o flynyddoedd: ac ar ol hyn-
ny rhaid yw ei ollwng ef yn rhŷdd *dros*
ychydig amser.
4 Ac mi a welais ᵈ orsedd-faingciau, a
hwy a eisteddasant arnynt, a ᵉ barn a roed
iddynt hwy: ac *mi a welais* ᶠ eneidiau y
rhai a dorrwyd eu pennau am dystiolaeth
Iesu, ac am air Duw, ᵍ a'r rhai ni addol-
asent y bwystfil ʰ na'i ddelw ef, ac ni
dderbyniasent ei nôd ef ar eu talcennau,
neu ar eu dwylaw; a hwy a fuant fyw ac
ⁱ a deyrnasasant gyd â Christ fil o flynydd-
oedd.
5 Eithr y lleill o'r meirw ni fuant fyw
drachefn, nes cyflawni'r mil blynyddoedd.
Dyma'r adgyfodiad cyntaf.
6 Gwynfydedig a sanctaidd *yw*'r hwn
sydd â rhan iddo yn yr adgyfodiad cyntaf:
y rhai hyn nid oes i'r ᵏ ail farwolaeth aw-
durdod arnynt, eithr hwy a fyddant ˡ offei-
riaid i Dduw ac i Grist, ac a deyrnasant gyd
ag ef fil o flynyddoedd.
7 A phan gyflawner y mil blynyddoedd,
gollyngir Satan allan o'i garchar;
8 Ac efe a â allan i dwyllo'r cenhedl-
oedd sydd ym mhedair congl y ddaear,
ᵐ Gog a Magog, ⁿ i'w casglu hwy ynghŷd i
ryfel; rhif y rhai *sydd* fel tywod y môr.
9 A hwy a aethant i fynu ar led y ddaear,
ac a amgylchasant wersyll y saint, a'r
ddinas anwyl: a thân a ddaeth oddi wrth
Dduw i wared o'r nef, ac a'u hysodd
hwynt.
10 A diafol, yr hwn oedd yn eu twyllo
hwynt, a fwriwyd i'r llyn o dân a brwm-
stan, ° lle *y mae*'r bwystfil a'r gau-bro-
phwyd; † a ᵖ hwy a boenir ddydd a nos,
yn oes oesoedd.
11 Ac mi a welais orsedd-faingc wen fawr,
a'r hwn oedd yn eistedd arni, oddi wrth
wyneb yr hwn y ffodd ᑫ y ddaear a'r nef;
a lle ni chafwyd iddynt.
12 Ac mi a welais y meirw, fychain a
mawrion, yn sefyll ger bron Duw; ʳ a'r
llyfrau a agorwyd: ˢ a llyfr arall a agorwyd,
yr hwn yw *llyfr* y bywyd: a barnwyd y
meirw wrth y pethau oedd wedi eu hys-
grifenu yn y llyfrau, ᵗ yn ol eu gweithred-
oedd.
13 A rhoddodd y môr i fynu y meirw
oedd ynddo; a marwolaeth ‡ ac uffern a
roddasant i fynu y meirw oedd ynddynt
hwythau: a hwy a farnwyd bob un yn ol eu
gweithredoedd.
14 A ᵘ marwolaeth ac uffern a fwriwyd
i'r llyn o dân. ˣ Hon yw'r ail farwol-
aeth.
15 A phwy bynnag ni chafwyd wedi ei
'sgrifenu yn llyfr y bywyd, bwriwyd ef i'r
llyn o dân.

Cross-references: ᵃ Pen. 1. 18. ᵇ Pen. 12. 9. Edrych 2 Petr 2. 4. ᶜ Pen. 16. 14, 16. Adn. 8. ᵈ Dan. 7. 9, 22, 27. Mat. 19. 28. Luc 22. 30. ᵉ 1 Cor. 6. 2, 3. ᶠ Pen. 6. 9. ᵍ Pen. 13. 12. ʰ Pen. 13. 15, 16. ⁱ Rhuf. 8. 17. 2 Tim. 2. 12. Pen. 5. 10. ᵏ Pen. 2. 11. a 21. 8. ˡ Esay 61. 6. 1 Petr 2. 9. Pen. 1. 6. a 5. 10. ᵐ Ezec. 38. 2. a 39. 1. ⁿ Pen. 16. 14. ° Pen. 13. 3. † *ac y poenir hwynt.* ᵖ Pen. 14. 10. ᑫ 2 Petr 3. 10. a 3. 7, 10, 11. ʳ Dan. 7. 10. ˢ Pen. 3. 5. a 13. 8. a 21. 27. ᵗ Jer. 17. 10. a 32. 19. Mat. 16. 27. Rhuf. 2. 6. Pen. 2. 23. ‡ *a'r bedd.* ᵘ 1 Cor. 15. 26, 54, 55. ˣ Pen. 21. 8.

## PEN. XXI.

*1 Nef newydd, a daear newydd. 10 Jerusalem nefol, a'i chyflawn bortreiad. 23 Nid rhaid iddi wrth haul: gogoniant Duw yw ei goleuni hi: 24 brenhinoedd y ddaear yn dwyn eu cyfoeth iddi hi.*

AC ᵃ mi a welais nef newydd, a daear 96.
newydd: canys y nef gyntaf a'r ddae-
ar gyntaf a aeth heibio; a'r môr nid oedd
mwyach.
2 A myfi Ioan a welais ᵇ y ddinas sanct-
aidd, Jerusalem newydd, yn dyfod oddi
wrth Dduw i wared o'r nef, wedi ei pha-
rottoi ᶜ fel priodas-ferch wedi ei thrwsio i'w
gwr.
3 Ac mi a glywais lef † uchel allan o'r
nef, yn dywedyd, Wele, *y mae* ᵈ pabell Duw
gyd â dynion, ac efe a drig gyd â hwynt, a

Cross-references: ᵃ Esay 65. 17. a 66. 22. 2 Petr 3. 13. ᵇ Esay 52. 1. Gal. 4. 26. Heb. 11. 10. a 12. 22. a 13. 14. Pen. 3. 12. ᶜ Esay 61. 10. 2 Cor. 11. 2.

† *fawr.* ᵈ Lef. 26. 11, 12. Ezec. 43. 7. 2 Cor. 6. 16. Pen. 7. 15.

hwy a fyddant bobl iddo ef, a Duw ei hun
a sydd gyd â hwynt, *ac a fydd* yn Dduw id-
dynt.
4 [e] Ac fe sych Duw ymaith bob deigr
oddi wrth eu llygaid hwynt; a [f] marwolaeth
ni bydd mwyach, [g] na † thristwch, na lle-
fain, na phoen ni bydd mwyach: oblegid y
pethau cyntaf a aeth heibio.
5 A dywedodd [h] yr hwn oedd yn eistedd
ar yr orsedd-fainge, [i] Wele, yr wyf yn
gwneuthur pob peth yn newydd. Ac efe
a ddywedodd wrthyf, Ysgrifena: canys y
mae [k] y geiriau hyn yn gywir ac yn ffydd-
lon.
6 Ac efe a ddywedodd wrthyf, [l] Darfu.
[m] Myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu
a'r diwedd. [n] I'r hwn sydd sychedig, y
rhoddaf o ffynnon dwfr y bywyd yn rhad.
7 Yr hwn sydd yn gorchfygu, a etifedda
‡ bob peth: ac [o] mi a fyddaf iddo ef yn
Dduw, ac yntau a fydd i minnau yn fab.
8 [p] Ond i'r rhai ofnog, a'r digred, a'r
ffiaidd, a'r llofruddion, a'r putteinwŷr, a'r
swyn-gyfareddwŷr, a'r eilun-addolwŷr, a'r
holl gelwyddwŷr, *y bydd* eu rhan yn [q] y llyn
sydd yn llosgi â thân a brwmstan: yr hwn
yw 'r ail farwolaeth.
9 A daeth attaf un o'r [r] saith angel yr
oedd y saith phiol ganddynt yn llawn o'r
saith bla diweddaf, ac a ymddiddanodd â
mi, gan ddywedyd, Tyred, mi a ddangosaf
i ti [s] y brïodas-ferch, gwraig yr Oen.
10 Ac efe a'm dug i ymaith [t] yn yr
yspryd i fynydd mawr ac uchel, ac a ddang-
osodd i mi [u] y ddinas fawr, Jerusalem sanct-
aidd, yn disgyn allan o'r nef oddi wrth
Dduw,
11 A gogoniant Duw ganddi: a'i goleu hi
*oedd* debyg i faen o'r gwerthfawroccaf, megis
maen jaspis, yn loyw fel grisial;
12 Ac iddi fur mawr ac uchel, *ac* iddi
[x] ddeuddeg porth, ac wrth y pyrth ddeu-
ddeg angel, ac enwau wedi eu hysgrifenu ar-
nynt, y rhai yw *enwau* deuddeg llwyth plant
Israel.
13 O du y dwyrain, tri phorth; o du y
gogledd, tri phorth; o du y dehau, tri
phorth; o du y gorllewin, tri phorth.
14 Ac *yr oedd* mur y ddinas â deuddeg
sylfaen iddo, ac § [y] ynddynt enwau deu-
ddeg apostol yr Oen.
15 A'r hwn oedd yn ymddiddan â mi,
[z] oedd â chorsen aur ganddo, i fesuro y
ddinas, a'i phyrth hi, a'i mur.
16 A'r ddinas sydd wedi ei gosod yn be-
deirongl, a'i hŷd sydd gymmaint a'i lled.
Ac efe a fesurodd y ddinas â'r gorsen, yn
ddeuddeng mil o'stadau. A'i hŷd, a'i lled,
a'i huchder, sydd yn ogymmaint.
17 Ac efe a fesurodd ei mur hi yn gant
*a* phedwar cufydd *a* deugain, wrth fesur dyn,
hynny yw, eiddo'r angel.
18 Ac adeilad ei mur hi oedd o faen jas-
pis: a'r ddinas *oedd* aur pur, yn debyg i
wydr gloyw.
19 A seiliau mur y ddinas *oedd* wedi eu
harddu â phob rhyw faen gwerthfawr. Y
sail cyntaf *oedd* faen jaspis; yr ail, saphir;
y trydydd, chalcedon; y pedwerydd, sma-
ragdus;
20 Y pummed, sardonyx; y chweched,
sardius; y seithfed, chrysolithus; yr wythfed,
beryl; y nawfed, topazion; y degfed, chry-
soprasus; yr unfed ar ddeg, hyacinthus; y
deuddegfed, amethystus.

[e] Esay 25. 8. Pen. 7. 17. [f] 1 Cor. 15. 26, 54. [g] Esay 35. 10. † *galar.* [h] Pen. 4. 2. a 20. 11. [i] Esay 43. 19. 2 Cor. 5. 17. [k] Pen. 19. 9. [l] Pen. 16. 17. [m] Pen. 1. 8. a 22. 13. [n] Esay 55. 1. Ioan 4. 10, 14. a 7. 37. Pen. 22. 17. ‡ *y pethau hyn.* [o] Heb. 8. 10. [p] 1 Cor. 6. 9. Gal. 5. 21. Eph. 5. 5. 1 Tim. 1. 9. Heb. 12. 14. Pen. 22. 15. [q] Pen. 20. 14, 15. [r] Pen. 15. 1, 6, 7. [s] Pen. 19. 7. [t] Pen. 1. 10. a 17. 3. [u] Adn. 2. [x] Ezec. 48. 31. § *arnynt.* [y] Mat. 16. 18. Eph. 2. 20. [z] Ezec. 40. 3. Pen. 11. 1.

21 A'r deuddeg porth, deuddeg perl *oedd-
ynt*; a phob un o'r pyrth oedd o un perl:
a heol y ddinas *oedd* aur pur, fel gwydr
gloyw.
22 A theml ni welais ynddi: canys yr
Arglwydd Dduw Hollalluog, a'r Oen, yw ei
theml hi.
23 [a] A'r ddinas nid rhaid iddi wrth yr
haul, na'r lleuad i oleuo ynddi: [b] canys go-
goniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi
*ydyw* yr Oen.
24 [c] A chenhedloedd y rhai cadwedig a
rodiant yn ei goleuni hi: ac y mae brenhin-
oedd y ddaear yn dwyn eu gogoniant a'u
hanrhydedd iddi hi.
25 [d] A'i phyrth hi ni cheuir ddim y
dydd: canys [e] ni bydd nos yno.
26 A hwy a ddygant ogoniant ac anrhy-
dedd y cenhedloedd iddi hi.
27 [f] ‖ Ac nid â i mewn iddi ddim aflan,
nac yn gwneuthur ffieidd-dra, na chelwydd:
ond y rhai sydd wedi eu hysgrifenu [g] yn
llyfr bywyd yr oen.

‖ *A phob peth aflan, ac yn gwneuthur ffieidd-dra a chel-wydd, nid a ddim i mewn iddi. ond,* &c.

[a] Esay 24. 23. a 60. 19. [b] Pen. 22. 5. [c] Esay 60. 3, 5. a 66. 12. Tobit 13. 11. [d] Esay 60. 11. [e] Esay 60. 20. Zech. 14. 7. Pen. 22. 5. [f] Esay 35. 8. a 52. 1. a 60. 21. Joel 3. 17. Pen. 22. 14, 15. [g] Phil. 4. 3. Pen. 3. 5. a 20. 12.

## PEN. XXII.

1 *Afon dwfr y bywyd.* 2 *Pren y bywyd.*
5 *Duw sydd oleuni i'w ddinas ei hun.* 9
*Yr angel heb fynnu ei addoli.* 18 *Ni ellir
rhoddi dim at air Duw, na thynnu dim
oddi wrth wrtho ef.*

S. Ioan Efangylwr, P. 96.

AC efe a ddangosodd i mi [a] afon bur o
ddwfr y bywyd, disglair fel grisial,
yn dyfod allan o orsedd-fainge Duw, a'r
Oen.
2 † [b] Ynghanol ei heol hi, ac o ddau tu'r
afon, *yr oedd* [c] pren y bywyd, yn dwyn
deuddeg *rhyw* ffrwyth, bob mis yn rhoddi
ei ffrwyth: a dail y pren *oedd* i iachâu y
cenhedloedd.
3 A [d] phob melldith ni bydd mwyach:
‡ ond gorsedd-fainge Duw a'r Oen a fydd
ynddi hi; a'i weision ef a'i gwasanaethant ef,
4 A [e] hwy a gânt weled ei wyneb ef;
[f] a'i enw ef *a fydd* yn eu talcennau
hwynt:
5 [g] Ac ni bydd nos yno; ac nid rhaid
iddynt wrth ganwyll, na goleuni haul;
oblegid [h] y mae yr Arglwydd Dduw yn
goleuo iddynt: a hwy a deyrnasant yn oes
oesoedd.
6 Ac efe a ddywedodd wrthyf fi, [i] Y
geiriau hyn *sy* ffyddlon a chywir. Ac Ar-
glwydd Dduw y prophwydi sanctaidd [k] a
ddanfonodd ei angel i ddangos i'w was-
anaethwŷr y pethau sy raid iddynt fod ar
frys.
7 [l] Wele, yr wyf yn dyfod ar frys: [m] gwŷn
ei fyd yr hwn sydd yn cadw geiriau pro-
phwydoliaeth y llyfr hwn.
8 A myfi Ioan a welais y pethau hyn, ac
a'*u* clywais. A phan ddarfu i mi glywed a
gweled, [n] mi a syrthiais i lawr i addoli ger
bron traed yr angel oedd yn dangos i mi y
pethau hyn.
9 Ac efe a ddywedodd wrthyf fi, [o] Gwel
na *wnelych*: canys cyd-was ydwyf i ti, ac
i'th frodyr y prophwydi, ac i'r rhai sy yn
cadw geiriau y llyfr hwn. Addola Dduw.
10 [p] Ac efe a ddywedodd wrthyf fi, Na
selia eiriau prophwydoliaeth y llyfr hwn:
[q] oblegid y mae 'r amser yn agos.

[a] Ezec. 47. 1. Zech. 14. 8. † *Neu, Yn y canol, yr heol a'r afon o'r ddau du, yr oedd pren y bywyd, yn dwyn deuddeg cnwd, bob mis yn rhoddi ei gnwd.* [b] Ezec. 47. 12. Pen. 21. 21. [c] Gen. 2. 9. Pen. 2. 7. [d] Zech. 14. 11. ‡ *a.* [e] Mat. 5. 8. 1 Cor. 13. 12. Ioan 3. 2. [f] Pen. 3. 12. a 14. 1. [g] Pen. 21. 23, 25. [h] Psal. 36. 9. [i] Pen. 19. 9. a 21. 5. [k] Pen. 1. 1. [l] Pen. 3. 11. [m] Pen. 1. 3. [n] Pen. 19. 10. [o] Pen. 19. 10. [p] Dan. 8. 26. a 12. 4. Pen. 10. 4.

[q] Rhuf. 13. 11. Iago 5. 8. 1 Petr 4. 7. Pen. 1. 3.

11 [r] Yr hwn sydd anghyfiawn, bydded
anghyfiawn etto; a'r hwn sydd frwnt, bydd-
ed frwnt etto; a'r hwn sydd gyfiawn, bydd-
ed gyfiawn etto; a'r hwn sydd sanctaidd,
bydded sanctaidd etto.
12 Ac wele, yr wyf yn dyfod ar frys;
[s] a'm gwobr *sydd* gyd â mi, i roddi [t] i bob
un fel y byddo ei waith ef.
13 [u] Myfi yw Alpha ac Omega, y dechreu
a'r diwedd, y cyntaf a'r diweddaf.
14 Gwyn eu byd y rhai sy yn gwneu-
thur ei orchymynion ef, fel y byddo
iddynt † fraint ym mhren y bywyd, ac y
gallont fyned i mewn trwy'r pyrth i'r ddi-
nas.
15 [x] Oddi allan *y mae*'r cwn, a'r swyn-
gyfareddwŷr, a'r putteinwŷr, a'r llofrudd-
ion, a'r eilun-addolwŷr, a phob un a'r sy yn
caru ac yn gwneuthur celwydd.
16 [y] Myfi Iesu a ddanfonais fy angel i
dystiolaethu i chwi y pethau hyn yn yr eg-
lwysi. [z] Myfi yw Gwreiddyn a Hiliogaeth
Dafydd *a*'r [a] Seren fore eglur.

[r] 2 Tim. 3. 13.
[s] Esay 40. 10. a 62. 11.
[t] Rhuf. 2. 6. a 14. 12. Mat. 16. 27.
[u] Esay 41. 4. a 44. 6. Pen. 1. 8, 11. a 21. 6.
† *gyfiawnder*, neu, *awdurdod*.
[x] 1 Cor. 6. 9, 10. Gal. 5. 21. Col. 3. 6. Pen. 9. 20, 21. a 21. 8.
[y] Pen. 1. 1.
[z] Pen. 5. 5.
[a] Num. 24. 17. Zech. 6. 12. 2 Petr 1. 19. Pen. 2. 28.

17 Ac y mae'r Yspryd a'r brïodas-ferch
yn dywedyd, Tyred. A'r hwn sydd yn
clywed, dyweded, Tyred. [b] A'r hwn sydd
â syched arno, deued: a'r hwn sydd yn
ewyllysio, cymmered ddwfr y bywyd yn
rhad.
18 Canys yr wyf fi yn tystiolaethu i bob
un sydd yn clywed geiriau prophwydoliaeth
y llyfr hwn, [c] Os rhydd neb *ddim* at y pe-
thau hyn, Duw a rydd atto ef y plaau sy
wedi eu hysgrifenu yn y llyfr hwn:
19 Ac o thyn neb ymaith *ddim* oddi wrth
eiriau llyfr y brophwydoliaeth hon, [d] Duw
a dynn ymaith ei ran ef ‡ allan o lyfr y by-
wyd, ac allan o'r ddinas sanctaidd, ac *oddi
wrth* y pethau sydd wedi eu hysgrifenu yn
y llyfr hwn.
20 Yr hwn sydd yn tystiolaethu y pethau
hyn, sydd yn dywedyd, Yn wir, yr wyf yn
dyfod ar frys. Amen. Yn wir, tyred Ar-
glwydd Iesu.
21 [e] Gras ein Harglwydd ni Iesu Grist
*fyddo* gyd â chwi oll. Amen.

[b] Esay 55. 1. Pen. 21. 6.
[c] Deut. 4. 2. a 12. 32. Diar. 30. 6.
[d] Exod. 32. 33. Psal. 69.
‡ *oddi wrth bren y bywyd.*
[e] Rhuf. 16. 20, 24. 2 Thess. 3. 18.

## DIWEDD.

---

*I'r unig Dduw y byddo'r Gogoniant.*

# TABLAU

*Arian, Pwysau,* a *Mesurau,* crybwylledig yn yr Ysgrythyr Lân; wedi eu troi yn rhai *Brutanaidd,* drwy awdurdod y Gwyr mwyaf a 'sgrifenasant ar y testyn hwnnw: a gyfansoddwyd gan *Risiart Morys,* Golygwr yr Argraphiad yn y flwyddyn 1752.

---

## *TABL Arian* Iuddewig.

| | | Punt | swllt | cein. |
|---|---|---|---|---|
| GERAH. | $\frac{1}{20}$ ran o Sicl. | 0 | 0 | 1 $\frac{4}{10}$ |
| Zuza, *neu* Drachmon, 1 *Sam.* 9. 8. *Tobit* 5. 14. | $\frac{1}{4}$ Sicl. | 0 | 0 | 7 |
| Traian Sicl, *Nehem.* 10. 32. | $\frac{1}{3}$ Sicl. | 0 | 0 | 9 $\frac{4}{10}$ |
| Becah, Arian y Deyrn-ged, *Matt.* 17. 24. | $\frac{1}{2}$ Sicl. | 0 | 1 | 2 $\frac{1}{10}$ |
| Sicl. | | 0 | 2 | 4 $\frac{1}{4}$ |
| Maneh, a gyfieithir *Punt,* 1 *Bren.* 10. 17. *Ezra* 2. 69. | 50 Sicl. | 5 | 17 | 8 $\frac{7}{10}$ |
| Talent, 60 Maneh. | 3000 Sicl. | 353 | 3 | 9 $\frac{6}{10}$ |
| Talent Aur. | | 5651 | 0 | 9 $\frac{9}{10}$ |
| Sicl Aur. | | 1 | 17 | 8 |
| Drachmon Aur, *Ezra* a *Nehem.* a gyfieithir *Swllt,* 1 *Chron.* 29. 7. | $\frac{1}{2}$ Sicl Aur. | 0 | 18 | 10 |

Y Sicl, yw'r *Arian,* neu'r *Darn Arian,* a grybwyllir am dano yn *Gen.* 20. 16. a 33. 19. a 37. 28. a 45. 22. *Jos.* 24. 32. *Job* 42. 11. *Zech.* 11. 12. *Matt.* 17. 27. a 26. 15. *Act.* 7. 16. a 19. 19. a mannau eraill o'r Ysgrythyr; oddi eithr y *Dernyn Arian,* 1 *Sam.* 2. 36. yr hwn yw'r un a'r Gerah.

*Deliwch sulw,* E gyfrifir yr Arian yn y Tabl hwn, yn ol Ystandart y Mint yn y Twr Gwyn yn *Llundain,* 5 s. 2 c. yr Wns: a'r Aur 4 p. 2 s. 8 c. 16 i. 1.

---

## *TABL Pwysau* Iuddewig, *yn Bwysau Troy* Brutanaidd.

| | | Pwys | wns | p. c. | gr. |
|---|---|---|---|---|---|
| GERAH. | $\frac{1}{20}$ o Sicl. | 0 | 0 | 0 | 10 $\frac{15}{16}$ |
| Zuza. | $\frac{1}{4}$ Sicl. | 0 | 0 | 2 | 6 $\frac{11}{16}$ |
| Becah. | $\frac{1}{2}$ Sicl. | 0 | 0 | 4 | 13 $\frac{3}{8}$ |
| Sicl y Cyssegr, $\frac{1}{2}$ Wns Avoirdupoize, 218 $\frac{3}{4}$ gr. | | 0 | 0 | 9 | 2 $\frac{3}{4}$ |
| Maneh, *Pwys.* | 60 Sicl. | 2 | 3 | 6 | 21 |
| Talent, 50 Maneh. | 3000 Sicl. | 113 | 11 | 3 | 18 |

Sicl y Brenhin, neu halogedig, wrth ba un y pwysid gwallt *Absalom,* 2 *Sam.* 14. 26. $\frac{1}{2}$ Sicl y Cyssegr.

*Deliwch sulw,* 24 Gronyn yn y Pwys Ceiniog, 20 p. c. neu 480 gr. yn yr Wns Droy; a 12 Wns, neu 5760 gr. yn y Pwys. A 437 $\frac{1}{2}$ Gronyn yn yr Wns Avoirdupoize; a 16 Wns, neu 7000 gr. yn y Pwys.

## *TABL Gwlyb-fesurau* Iuddewig, *yn Fesurau Gwin* Brutanaidd.

| | | gal. | pint. |
|---|---|---|---|
| LOG, yr un gynhwysiad a Xestes *Athen*. | $\frac{1}{72}$ o Bath. | 0 | 1 $\frac{148}{1000}$ |
| Cab. | $\frac{1}{18}$ o Bath. | 0 | 4 $\frac{6}{10}$ |
| Hin. | $\frac{1}{6}$ o Bath. | 1 | 5 $\frac{78}{100}$ |
| Sat, *neu*, Seah. | $\frac{1}{3}$ o Bath. | 3 | 3 $\frac{56}{100}$ |
| Bath. | | 10 | 2 $\frac{68}{100}$ |
| Corus, *neu* Homer. | 10 Bath. | 103 | 2 $\frac{8}{10}$ |

***Deliwch sulw***, 76 Pwys Troy, o Ddwfr croyw cyffredin, a leinw Lestr o Droedfedd bedronglog: 253 $\frac{1}{3}$ Gronyn yn y Fodfedd: 28 $\frac{7}{8}$ Modfedd yn y Pint: ac 8 Bint, neu 231 Modfedd, yn y Galwyn o Win.

Y Mor tawdd, yn ol 1 *Bren*. 7. 26. a annai 2000 o Bathau; ac yn ol 2 *Chron*. 4. 5. a ddaliai 3000 o Bathau: hynny yw, dwy fil a arferid ynddo yn gyffredin, a thair mil ar Uchel-wyliau, yr hyn oedd ei gyflawn gynhwysiad.

---

## *TABL Sych-fesurau* Iuddewig, *yn Fesurau Yd* Brutanaidd.

| | | gal. | pint. |
|---|---|---|---|
| CAB. | $\frac{1}{18}$ o Ephah. | 0 | 3 $\frac{94}{100}$ |
| Omer, *neu* Gomer. | $\frac{1}{10}$ o Ephah. | 0 | 7 $\frac{1}{10}$ |
| Sat, *neu* Seah, a gyfieithir Peccaid, *Matt*. 13. 33. | $\frac{1}{3}$ o Ephah. | 2 | 7 $\frac{68}{100}$ |
| Ephah, yr un gynhwysiad a Bath. | | 8 | 7 $\frac{05}{100}$ |
| Lethech, *Hosea* 3. 2. | 5 Ephah. | 44 | 3 $\frac{26}{100}$ |
| Corus, Comer, *neu* Homer. | 10 Ephah. | 88 | 6 $\frac{52}{100}$ |

***Deliwch sulw***, 33 $\frac{1}{5}$ Modfedd bedronglog yn y Pint: ac 8 Bint, neu 268 $\frac{4}{5}$ Modfedd yn y Galwyn o Yd: ac 8 Galwyn yn y Bwysel, neu Fesur *Caerwynt*, o 18 $\frac{1}{2}$ Modfedd drwyddo, ac 8 Modfedd o ddyfn, yn ol yr Ystatut.

---

## *TABL Hyd-fesurau* Iuddewig.

| | | Cuf. y Cyss. tr. | Cuf. y Cyss. mod. | Cuf. yr Aipht. troed. | Cuf. yr Aipht. mod. |
|---|---|---|---|---|---|
| LLED Bys, *Heb*. Etzba. | $\frac{1}{24}$ o Gufydd. | 0 | 1 $\frac{1}{32}$ | 0 | 0 $\frac{86}{100}$ |
| Lled Llaw, *neu* Ddyrnfedd, *Heb*. Tophac. | $\frac{1}{6}$ o Gufydd. | 0 | 4 $\frac{1}{8}$ | 0 | 3 $\frac{44}{100}$ |
| Rhychwant lleiaf, *Heb*. Zereth. | $\frac{1}{3}$ o Gufydd. | 0 | 8 $\frac{1}{4}$ | 0 | 6 $\frac{7}{8}$ |
| Rhychwant mwyaf. | $\frac{1}{2}$ Cufydd. | 1 | 0 $\frac{3}{8}$ | 0 | 10 $\frac{3}{10}$ |
| Cufydd y Cyssegr, *Heb*. Amma, *neu*, Gomed, a elwir Cufydd a Dyrnfedd, *Ezec*. 40. 5. a 43. 13. a Cufydd mawr, *Ezec*. 41. 8. yr un a Chufydd *Babilon*, 2 $\frac{0628}{10000}$ Droedfedd. | | 2 | 0 $\frac{3}{4}$ | — | — |
| Cufydd *Memphis* yn yr *Aipht*, $\frac{5}{6}$ o Gufydd y Cyssegr; a elwir Cufydd Gwr, *Deut*. 3. 11. a Chufydd Dyn, *Dat*. 21. 17. 1 $\frac{719}{1000}$ Droedfedd. | | — | — | 1 | 8 $\frac{5}{8}$ |
| Gwrhyd. | 4 Cufydd. | 8 | 3 | 6 | 10 $\frac{1}{2}$ |
| Corsen, *Heb*. Cane, *Ezec*. 40. 5, &c. | 6 Chufydd. | 12 | 4 $\frac{1}{2}$ | 10 | 3 $\frac{3}{4}$ |
| Llinyn Mesur Tir yr *Aipht*, *Heb*. Cebel. | 80 Cufydd. | 165 | 0 | 137 | 6 |

***Deliwch sulw***, Mai ansicr pa Gufydd a arferid fynychaf gan yr *Iuddewon*. Tyb yr enwoccaf Syr *Isaac Newton* yw, fod iddynt ddwyn Cufydd eu Tadau gyd a hwynt o *Caldea* i *Syria*; yna, pan aethant i'r *Aipht*, iddynt ddysgu Cufydd yr *Aiphtiaid*, yr hwn a alwent Cufydd Cyffredin, ac a arferent ar achosion cyffredin, a'r llall mewn materion perthynol i Grefydd.

## *TABL Ymdaith Fesurau* Iuddewig.

| | | Cuf. y Cyss. | | | Cuf. yr Aipht. | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | | mill. | llam. | troed. | mill. | llam. | troed |
| YSTADIA, *neu* Ystad, *Heb.* Astaduta. | 400 Cufydd. - | 0 | 165 | 0 | 0 | 137 | 2 |
| Taith Diwrnod Sabbath. - - | 2000 Cufydd. - | 0 | 825 | 0 | 0 | 687 | 3 |
| Milltir, *Heb.* Berath. - - - - - - | 4000 Cufydd. - | 1 | 594 | 1 | 1 | 319 | 1 |
| Parasang *Persia.* - - - - - - - | 3 Milltir. - | 4 | 726 | 3 | 3 | 957 | 3 |
| Taith Diwrnod. - - - - - - - - - | 24 Milltir. | 37 | 533 | 3 | 31 | 268 | 4 |

*Deliwch sulw,* 5 Troedfedd yn y Llam, a 1056 Llam yn y Filltir.

---

## *TABL Arwyneb-fesurau* Iuddewig, *wedi eu cymharu â Mesurau* Brutanaidd.

*RHEOL*, Amblygwch yr Hyd wrth y Lled, a bydd y cynhwysiad yn Gufyddau ysgwar: Amblygwch y rheini a $4\frac{1}{4}$, y Troedfeddau ysgwar mewn Cufydd y Cyssegr (neu a $2\frac{955}{1000}$ y Troedfeddau mewn Cufydd Cyffredin) a bydd y cynhwysiad yn Droedfeddau ysgwar.

Allor yr Arogl-darth (*Exod.* 30. 2.) 1 Cufydd ei hyd, ac 1 Cufydd ei lled, a wna 1 Cufydd ysgwar; neu $4\frac{1}{4}$ Troedfedd.

Bwrdd y Bara dangos (*Exod.* 25. 23.) hyd 2 Gufydd, lled 1 Cufydd, a wna 2 Gufydd ysgwar; neu $8\frac{1}{2}$ Troedfedd.

Ystyllod y Tabernacl (*Exod.* 26. 16.) hyd 10 Cufydd, lled $1\frac{1}{2}$ Cufydd, a wna 15 Cufydd ysgwar; neu $63\frac{3}{4}$ Troedfedd.

Y Drugareddfa (*Exod.* 25. 17.) hyd $2\frac{1}{2}$ Gufydd, lled $1\frac{1}{2}$ Cufydd, a wna $3\frac{3}{4}$ Chufydd ysgwar; neu $15\frac{9}{10}$ Troedfedd.

Y Cynteddfa (*Exod.* 27. 18.) hyd 100 Cufydd, lled 50 Cufydd, a wna 5000 Cufydd, neu $\frac{1}{2}$ Aroura; yr hyn yw 21,275 Troedfedd, neu 1 Chwarter Acr, 38 Perc, $39\frac{1}{2}$ Troedfedd.

Tir y Lefiaid (*Num.* 35. 3, 4, 5.) oedd 1000 Cufydd ysgwar o bob un o bedwar tu 'r Ddinas, yn gwneuthur 1,000,000 Cufydd, neu 100 Aroura; a wna 97 Acr, 2 Chwarter, 29 Perc.

Tir pob Dinas, 400 Aroura; a wna 390 Acr, 2 Chwarter, 36 Perc.

Tir yr 48 Ninas, 19,200 Aroura, a wna 18,754 Acr, 3 Chwarter, 8 Perc.

*Aroura,* yw Mesur o Dir, yn cynnwys 10,000 Cufydd ysgwar, yr hwn a gyfieithwn ni *Cyfair:* fe wna 42,550 Troedfedd; neu 3 Chwarter Acr, 36 Perc, 79 Troedfedd.

*Deliwch sulw,* 144 Modfedd ysgwar yn y Droedfedd, 9 Troedfedd yn y Llathen; $30\frac{1}{4}$ Llathen, neu $272\frac{1}{4}$ Troedfedd, yn y Perc, 40 Perc yn y Chwarter Acr, a 4 Chwarter yn yr Acr Ystatut.

---

## *TABL rhai o Arian a Phwysau* Rhufain.

| | | s. | c. | ff. |
|---|---|---|---|---|
| TERUNCIUS, *Gr.* Lepton, *Hatling, Marc* 12. 42. *Luc* 12. 59. a 21. 2. - - - - - - - - - - - - - - | $\frac{1}{80}$ o'r Denarius. | 0 | 0 | $0\frac{4}{10}$ |
| Quadrans, *Ffyrling, Matt.* 5. 26. *Marc* 12. 42. - | $\frac{1}{40}$ o'r Denarius. | 0 | 0 | $0\frac{8}{10}$ |
| Sembela. - - - - - - - - - - - - - - - - | $\frac{1}{20}$ o'r Denarius. | 0 | 0 | $1\frac{6}{10}$ |
| As, *neu* Libela, *Ffyrling, Matt.* 10. 29. *Luc* 12. 6. Pwys o Bres. - - - - - - - - - - - | $\frac{1}{10}$ o'r Denarius. | 0 | 0 | $3\frac{23}{100}$ |
| Sestertius. - - - - - - - - - - - - - - | $\frac{1}{4}$ Denarius. - - | 0 | 2 | $0\frac{8}{100}$ |
| Quinarius. - - - - - - - - - - - - - - | $\frac{1}{2}$ Denarius. - - | 0 | 4 | $0\frac{16}{100}$ |
| Denarius y Consuliaid, *Ceiniog, Matt.* 18. 28. a 20. 2. a 22. 19, &c. $\frac{1}{7}$ ran o'r Wns *Rufeinaidd*, $62\frac{4}{7}$ Gronyn. - - - - - - - - | | 0 | 8 | $0\frac{32}{100}$ |
| Denarius y Cesariaid, $\frac{1}{8}$ ran o'r Wns, $54\frac{3}{4}$ gr. Drachma. - - - - - - | | 0 | 7 | $0\frac{28}{100}$ |
| Sextula, *neu* Solidus Aur, *Swllt*, $\frac{1}{6}$ o'r Wns, 73 gr. - - - - - - - | | 12 | 6 | $3\frac{46}{100}$ |

| | | s. | c. | ff. |
|---|---|---|---|---|
| Aureus, a elwid hefyd Solidus, dwbl bwys y Denarius. - - | $109 \frac{1}{2}$ gr. | 18 | 10 | $1 \frac{2}{10}$ |
| Aureus y Consuliaid. - - - - - - - - - - - - - - - - | $125 \frac{1}{7}$ gr. | 21 | 6 | $2 \frac{5}{11}$ |

*Deliwch sulw*, 438 Gronyn Troy, neu 576 gr. *Rhufeinaidd*, yn yr Wns; a 12 Wns, neu 5256 gr. Troy, neu 6912 gr. *Rhufeinaidd*, yn y Pwys.

Yr un Mwnai yw'r Teruncius a'r Quadrans *Rhufeinaidd*, $\frac{1}{4}$ Pwys o Bres; ond gan nad oedd iddynt hwy Fath i gyfatteb i'r Lepton *Groegaidd*, fe a'i cyfieithwyd yn Lladin, Teruncius.

## *TABL prif Ehang-fesurau* Rhufain, *yn Fesurau Gwin* Brutanaidd.

| | | gal. | pint. |
|---|---|---|---|
| SEXTARIUS, *Marc* 7. 4. a gyfieithwyd yn fynych *Ysten*; $\frac{1}{6}$ o'r Congius. | | 0 | $1 \frac{19}{100}$ |
| Congius, *Galwyn* - - - | 10 Pwys *Rhufain*. - - - - - - - | 0 | $7 \frac{185}{1000}$ |
| Modius, *Matt*. 5. 15. *Marc* 4. 21. *Luc* 8. 16. a 11. 33. a gyfieithwyd *Llestr*. - - - - - - - - | 16 Sextarius. - - - - - - - | 2 | $3 \frac{16}{100}$ |
| Urna. - - - - - - - - - - | 4 Congius. - - - - - - - - - - - | 3 | $4 \frac{74}{100}$ |
| Amphora. - - - - - - - - | 8 Congius. - - - - - - - - - - - | 7 | $1 \frac{48}{100}$ |
| Culeus. - - - - - - - - | 20 Amphora. - - - - - - - - - - | 143 | $5 \frac{6}{10}$ |

Metretes, *Ioan* 2. 6. a gyfieithwyd *Ffiolau*; Metretes *Syria* ydoedd, ac o'r un gynhwysiad a Galwyn *Rhufain*.

## *TABL Hyd-fesurau* Rhufain.

| | | | Kam. | troed. | mod. |
|---|---|---|---|---|---|
| DIGITUS, | *Bysfedd*. - - - - | $\frac{1}{16}$ o Droedfedd. - - - - | 0 | 0 | $0 \frac{725}{1000}$ |
| Uncia, | *Modfedd*. - - - - | $\frac{1}{12}$ o Droedfedd. - - - - | 0 | 0 | $0 \frac{966}{1000}$ |
| Palmus, - - | *Dyrnfedd*. - - - - | $\frac{1}{4}$ Troedfedd. - - - - | 0 | 0 | $2 \frac{9}{10}$ |
| Pes, - - - | *Troedfedd*. - - - - - - - - - - - - - - - - | | 0 | 0 | $11 \frac{6}{10}$ |
| Palmipes, - | *Troedfedd a Dyrnfedd*. | $1 \frac{1}{4}$ Droedfedd. - - - - | 0 | 1 | $2 \frac{1}{2}$ |
| Cubitus, - - | *Cufydd*. - - - - - | $1 \frac{1}{2}$ Droedfedd. - - - - | 0 | 1 | $5 \frac{4}{10}$ |
| Gradus, - - | *Cam*. - - - - - - | $2 \frac{1}{2}$ Droedfedd. - - - - | 0 | 2 | 5 |
| Passus, - - | *Llam*. - - - - - - | 5 Troedfedd. - - - - | 0 | 4 | 10 |
| Stadium, - | *Ystad*. - - - - | 125 Llam. - - - - - - | 120 | 4 | 2 |
| Milliare, - | *Milltir*. - - - - | 8 Ystad, neu 1000 Llam. | 966 | 3 | 4 |

## *TABL rhai o Arian a Phwysau* Athen.

| | | p. | s. | c. |
|---|---|---|---|---|
| DRACHME, *Luc* 15. 8. $\frac{1}{8}$ o'r Wns, 67 Gronyn. - - - - - - | | 0 | 0 | $8 \frac{65}{100}$ |
| Didrachmon, *Matt*. 17. 24. | 2 Drachme. - - - - - - - - - | 0 | 1 | $5 \frac{3}{10}$ |
| Tetradrachmon, *neu* Stater, - | 4 Drachme. - - - - - - - - - - | 0 | 2 | $10 \frac{6}{10}$ |
| Pentadrachmon, - - - - | 5 Drachme. - - - - - - - - - - | 0 | 3 | $7 \frac{27}{100}$ |
| Mna, *neu* Mina, *Luc* 19. 13, &c. *Pwys*, *Punt*, 100 Drachme, $12 \frac{1}{2}$ Wns. - - - - - - - - - - - - - - - - - - | | 3 | 12 | $1 \frac{4}{10}$ |
| Talanton, yr hon yw Talent yr *Apocrypha*, 60 Mina. - - - - | | 216 | 7 | $0 \frac{96}{100}$ |

## *TABL prif Ehang-fesurau* Athen, *yn Fesurau Gwin* Brutanaidd.

| | gal. | pint. |
|---|---|---|
| COTYLE, *Mawaid*. - - - - - - - - - - - - - - - - | 0 | $0 \frac{574}{1000}$ |
| Xestes, 2 Cotyle, $\frac{1}{6}$ o'r Cous, 8400 Gronyn. - - - - - - - | 0 | $1 \frac{148}{1000}$ |
| Choinix, $1 \frac{1}{2}$ Xestes, *Dat*. 6. 6. - - - - - - - - - - - - - - | 0 | $1 \frac{72}{100}$ |
| Cous, *Galwyn*. - - - - - - - - - - - - - - - - - - - | 0 | $6 \frac{80}{100}$ |
| Medimnos, 10 Choinix. - - - - - - - - - - - - - - - - | 2 | $1 \frac{22}{100}$ |
| Metretes, 12 Cous. - - - - - - - - - - - - - - - - - - | 10 | $2 \frac{82}{100}$ |

*Hyd-fesurau* Athen. *Dyrnfedd, Troedfedd, Cufydd, &c. Yr un ydynt a'r rhai* Brutanaidd.

DIWEDD.

# LLYFR Y

# PSALMAU,

WEDI EU CYFIEITHU,

# A'U CYFANSODDI

AR FESUR CERDD, YN

# GYMRAEG.

TRWY WAITH


EDMUND PRYS,

ARCH-DIACON MEIRIONNYDD.


*A oes neb yn eich plith mewn adfyd? gweddied. A oes neb yn esmwyth arno? caned psalmau.* IAGO V. 13.

*Preswylied gair Crist ynoch yn helaeth ym mhob doethineb; gan ddysgu a rhybuddio bawb eich gilydd mewn psalmau, a hymnau, ac odlau ysprydol, gan ganu trwy ras yn eich calonnau i'r Arglwydd.* COL. III. 16.

ARGRAPHIAD CYFARGRAPH.


RHYDYCHEN:

*Argraphedig yn Argraphdy Clarendon,*

GAN BENSLEY, COOKE, A COLLINGWOOD,

ARGRAPHWYR I'R BRIF-YSGOL;

Ac a werthir gan E. GARDNER, yn Ystôr-dŷ Biblau Rhydychen, Pater noster Row Llundain.

1813.

## LLYTHYR YR

# ARCH-DIACON PRYS

### AT Y DARLLENYDD YSTYRIOL.

*TRI pheth a wnaeth, na chyfieithwyd y Psalmau bendigaid ar yr un o'r Pedwar Mesur ar hugain.*

*Un yw, Am na allwn rwygo clymmu'r Ysgrythyr Sanctaidd ar Fesur cyn gaethed; rhag i mi, wrth geisio cadw'r Mesurau, golli Deall yr Yspryd, ac felly pechu'n erbyn Duw, er mwyn boddloni Dyn.*

*Yn ail, Y mae Gair Duw i'w ganu mewn Cynnulleidfa sanctaidd o lawer ynghyd; i foliannu Duw yn un Llais, un Feddwl, un Galon: yr hyn a allant ei wneuthur ar y Mesur gwael hwn, ac ni allai ond un ganu Cywydd neu Awdl.*

*Yn drydydd. Pob Plant, Gweinidogion, a Phobl annysgedig, a ddysgant Bennill o Garol, lle ni allai ond Ysgolhaig ddysgu Cywydd, neu Gerdd gyfarwydd arall. Ac o achos bod yn berthynol i bob Cristion wybod Ewyllys Duw, a'i foliannu ef; mi a ymadawais â'r Gelfyddyd, er mwyn bod pawb yn rhwymedig i wario ei Dalent at y goreu. Hefyd, nid wyf fi'n cadw mo'r Mesur esmwyth hwn yn gywir ym mhob man, am nad oes dim yn ein Iaith ni mewn Synwyr i seinio nac i odli â DUW. Am hynny, i roi iddo ef ei rugor o gyhoedd y Gerdd, mi a roes amryw Ddiarhebion eraill i gyfatteb â'r Gair hwnnw, yn nesaf ag y medrwn.*

# LLYFR Y PSALMAU.

## PSALM I.

Y Sawl ni rodia, dedwydd yw,
yn ol drwg ystryw gyngor :
Ni saif ar ffordd troseddwŷr ffol,
nid eiste 'n 'stol y gwatwor.
2 Ond ei holl serch ef fydd yn rhwydd
ar ddeddf yr Arglwydd uchod :
Ac ar ei ddeddf rhydd, ddydd a nos,
yn ddiddos ei fyfyrdod.

3 Ef fydd fel pren plan ar lan dol,
dwg ffrwyth amserol arno :
Ni chrina 'i ddalen, a'i holl waith
a lwydda 'n berffaith iddo.
4 Nid felly bydd y drwg di-rus,
ond fel yr us ar gorwŷnt ;
Yr hwn o'r tir a'i chwŷth, a'i chwal,
anwadal fydd ei helynt.

5 Am hyn y drwg ni saif mewn barn
o flaen y cadarn uniawn ;
Na'r pechaduriaid mawr eu bàr
ynghynnulleidfa 'r cyfiawn.
6 Canys yr Arglwydd Dduw, fel hyn,
a edwyn ffyrdd gwirioniaid :
Ac ef ni ad byth i barhâu
mo lwybrau pechaduriaid.

## PSALM II.

PAHAM y terfysg gwŷr y byd?
a pha'm y cyfyd rhodres?
Pa'm y mae 'r bobloedd yn cyd-wau
yn eu bwriadau diles?
2 Codi y mae brenhinoedd byd,
a'u bryd yn gyd-gynghorol :
Yn erbyn Duw a'i Grist (ein plaid)
y mae pennaethiaid bydol.

3 Drylliwn eu rhwymau, meddant hwy ;
ni wnawn ni mwy ufudd-dod :
Ac ymaith taflwn eu trom iau,
ni chânt yn frau mo'n gorfod.
4 Ond Duw 'r hwn sydd uwch wybrol len,
a chwardd am ben eu geiriau :
Yr Arglwydd nef a wêl eu bàr,
efe a'u gwatwar hwythau.

5 Yna y dywaid yn ei lid,
a hyn fydd rhŷ brid iddyn' :
O'i eiriau ef y cyfyd braw,
a'i ddig a ddaw yn ddychryn.
6 Gosodais innau (meddai ef)
â llaw gref yn dragywydd,
Fy Mrenhin i, yn Llywydd llon,
ar sanctaidd Seion fynydd.

7 Dyma 'r ddeddf a dd'wedai yn rhwydd,
hon gan yr Arglwydd clywais :
Ti yw fy Mab (o'm perffaith ryw)
a heddyw y'th genhedlais.
8 Gofyn im', a mi it' a'i rhydd
holl wledydd i'w 'tifeddu :
Y cenhedlaethau dros y byd
i gŷd a gai' meddiannu.

9 Ti a'u briwi hwynt, yn dy farn,
â gwïalen haiarn hayach :
Ti a'u maluri, hwythau ân',
mor fân â llestri priddach.
10 Am hyn yn awr, frenhinoedd coeth,
byddwch ddoeth a synhwyrol :
A chwithau, farnwŷr, cymrwch ddysg,
i ostwng terfysg fydol.

11 Gwas'naethwch chwi yr Arglwydd nef,
ac ofnwch ef drwy ogfud :
A byddwch lawen yn Nuw eu,
etto trwy grynu hefyd.
12 Cusenwch y Mab, rhag ei ddîg,
a'ch bwrw yn ffyrnig heibio :
A gwŷn eu byd pob calon lân
a ymddiriedan' ynddo.

## PSALM III.

O Arglwydd, amled ydyw 'r gwŷr
y sydd drallodwŷr imi?
A llawer iawn i'm herbyn sydd
o ddydd i ddydd yn codi.
2 D'wedai lawer o'r gwrthgyrch blaid,
yn drwm am f' enaid eisoes :
Nid oes iddo yn ei Dduw Ior
chwaith mawr ystôr o'i einioes.

3 Tithau, O Arglwydd, ym mhob man,
ydwyd yn darian ymy :
Fy ngogoniant wyt ; tu a'r nen
y codi 'mhen i fynu.
4 Ar Dduw yr Arglwydd â'm holl lais
y gelwais yn dosturaidd :
Ac ef a'm clybu i ar frys
o'i uchel freinllys sanctaidd.

5 Mi orweddais ac a gysgais,
ac mi a godais gwedi :
Canys yr Arglwydd oedd i'm dal,
i'm cynnal, ac i'm codi.
6 Nid ofnaf fi, o'r achos hwn,
mo fyrddiwn sydd yn barod,
O bobloedd, o'm hamgylch yn dyn,
i'm herbyn wedi dyfod.

7 Cyfod ti, Arglwydd, achub fi,
drwy gospi fy ngelynion :
Trewaist yr ên, torraist eu daint,
er maint yr annuwiolion.
8 I'r Arglwydd byth (o achos hyn)
y perthyn iachawdwriaeth :
Ac ar ei bobl y disgyn gwlith
ei fendith yn dra helaeth.

## PSALM IV.

DUW fy nghyfiawnder, clywaist fi,
i'm cyni pan y'th elwais :
Rhyddheaist fi, dod im' un wedd
drugaredd ; clyw fy oerlais.
2 O feibion dynion, hyd ba hŷd
y trowch, trwy gyd ymgabledd,
Fy mharch yn warth? a hynny sydd
drwy gelwydd a thrwy wagedd.

3 Gwybyddwch ethol o Dduw Cun
iddo 'i hun y duwiolaf :
A phan alwyf arno yn hŷ,
efe a wrendy arnaf.
4 Ofnwch, a thewch, ac na phechwch,
meddyliwch ar eich gwely :
5 Aberthwch, gobeithiwch Dduw Ner ;
rhodd cyfiawnder yw hynny.

6 Pwy (medd llaweroedd) y pryd hyn,
a ddengys yn' ddaioni?
O Arglwydd, dyrcha d' wyneb-pryd,
daw digon iechyd ini.
7 Rhoist i'n calon lawenydd mwy
(a hynny trwy dy fendith)
Nag a fyddai gan rai yn trin
amlder o'u gwin a'u gwenith.

8 Mi orweddaf ac a hunaf,
a hynny fydd mewn heddwch:
Can's ti, Arglwydd, o'th unig air,
a bair im' ddiogelwch.

## PSALM V.

ARGLWYDD, clyw 'ngweddi yn ddiball,
Duw, deall fy myfyrdod:
2 Erglyw fy llais a'm gweddi ffin,
fy Nuw, a'm Brenhin hyglod.
3 Yn fore gwrando fi, fy Naf,
yn fore galwaf arnad:
4 Can's nid wyd Dduw i garu drwg,
ni thrig i'th olwg anfad.

5 Ni saif ynfydion yn dy flaen,
na 'r rhai a wnaen' anwiredd:
Y rhai hyn sydd gennyt yn gas,
sef diflas it' bob gwagedd.
6 Y rhai a dd'wedant ffug a hud,
a phob gwŷr gwaedlyd creulon,
Ti a'u tynni hwynt-hwy o'r gwraidd,
fel ffiaidd annuwiolion.

7 Dof finnau tu a'th dŷ mewn hedd,
am dy drugaredd galwaf:
Trwy ofn, a pharch, a goglud dwys,
i'th sanctaidd eglwys treiglaf.
8 I'th gyfiawnder arwain fi, Ner,
rhag blinder a chasineb:
Duw, gwna dy ffordd, rhag ofn cu.brad,
yn wastad rhag fy wyneb.

9 Can's i'w genau nid oes dim iawn;
mae llygredd llawn i'w ceudod:
Eu gyddfau fel ceulannau bedd,
a gwagedd ar eu tafod.
10 Distrywia hwynt i'w camwedd, Ion,
o'u holl gynghorion cwympant:
Hwnt â hwy, a'u holl ddrygioni;
i'th erbyn di rhyfelant.

11 A'r rhai a 'mddiried ynot ti,
am it' gysgodi drostynt,
Llawenhânt: a phob rhai a'th gâr,
cei fawl yn llafar ganthynt.
12 Can's ti (Arglwydd) anfoni wlith
dy fendith ar y cyfion:
A'th gywir serch, fel tarian gref,
rhoi drosto ef yn goron.

## PSALM VI.

O Arglwydd, na cherydda fi
ym mhoethni dy gynddaredd:
Ac na chospa fi yn dy lid,
oblegid fy anwiredd.
2 O Arglwydd, dy drugaredd dod,
wyf lesg mewn nychdod rhybrudd:
O Arglwydd, tyr'd, iachâ fi'n chwŷrn,
mae f' esgyrn i mewn cystudd.

3 A'm henaid i o'r llesgedd hyn,
y sydd mewn dychryn 'sgeler:
Tithau, O Arglwydd, pa ryw hŷd
'rhoi arnaf ddŷbryd brudd-der?
4 Duw, gwared f' enaid, dychwel di,
iachâ fi â'th drugaredd:
5 Nid oes yn angau gof na hawl;
a phwy a'th fawl o'r pridd-fedd?

6 Diffygiais gan ochain bob nos,
mewn gwâl anniddos foddfa:
'Rwy'n gwlychu, drwy y cystudd mau,
â'm dagrau fy ngorweddfa.
7 O ddig i'm cas a goddef drwg,
fy ngolwg sy'n tywyllu;
A chan y dwfr a red yn rhaff,
ŷnt anghraff, ac yn pylu.

8 Pob un a wnelo, aed ym mhell,
na dichell nac anwiredd:
Can's clybu yr Arglwydd fy llais,
pan lefais am drugaredd.
9 Yr Arglwydd clybu ef fy arch,
rhof finnau barch a moliant:
Fe dderbyn fy ngweddi, a'm gwaedd;
am hyn yr haedd ogoniant.

10 Fe w'radwyddir, fe drallodir,
yn ddir fy holl elynion:
Ac fo'u dychwelir, drwy fefl glwth,
hwynt yn ddisymmwth ddigon.

## PSALM VII.

O Achub fi, fy Nuw, fy Ner;
can's mae fy hyder ynod:
Rhag fy erlidwŷr gwared fi;
can's mae o'r rheini ormod.
2 Rhag llarpio f' enaid fel y llew,
heb un dŷn glew a'm gweryd:
A'm rhwygo i yn ddrylliau mân;
fal dyna amcan gwaedlyd.

3 O Arglwydd Dduw, os gwnaethum hyn,
os drwg y sy'n fy nwylaw,
4 Na thrwy ymddiried, dwyll i neb,
pe bawn wrthwyneb iddaw;
5 I erlid f' oes y gelyn doed,
dalied, a rhoed fi'n isaf:
A sathred f' urddas yn y llwch,
drwy 'r diystyrwch eithaf.

6 Cyfod, O Dduw, cyfod i'th ddig,
a gostwng big pob gelyn:
A deffro drosof yn y farn;
sef cadarn yw d' orchymyn.
7 Pan ddringych, yr holl bobl yn llu
a ddaw o'th ddeutu attad:
Duw, dychwel i'th farn er eu mwyn,
a gwrando 'n cwyn yn wastad.

8 Duw, dyro i'r bobl y farn dau,
a barn di finnau, Arglwydd:
Ac fel yr haeddais, dod farn iawn,
yn ol fy llawn berffeithrwydd.
9 Derfid anwiredd y rhai drwg;
gwna'n amlwg ffordd y cyfion:
Can's union wyd, a chraff, Dduw cu,
yn chwilio deutu 'r galon.

10 Ac am fod Duw yn canfod hyn,
Duw yw f' ymddiffyn innau:
Duw sydd Iachawdwr i bob rhai
sydd lân ddifai 'u calonnau.
11 Felly mae Duw byth ar yr iawn,
a Duw yw'r cyfiawn Farnydd:
Wrth yr annuwiol ar bob tro
mae Duw yn digio beunydd.

12 Ac oni thry'r annuwiol cas,
fo lifa'i loywlas gleddau:
Ar annel y mae bwa 'r Ion,
a'i barod lymion saethau.
13 Sef arfau angau at y nôd
y maent yn barod ddigon.
Ac ni saetha ef ergyd byr
at yr erlidwŷr poethion.

14 Wele hanes y gelyn drwg,
efe a 'mddŵg ar draha:
O chwydd ar gamwedd, beichiog fydd,
ar gelwydd yr esgora.
15 Cloddiodd ef bwll hyd eigion llawr,
o fwriad mawr i 'r truan:
Ac ef a syrthiodd ymron bawdd,
i'r dyfn i'w glawdd ei hunan.

16 Ei holl anwiredd ar ei ben,
o uchder nen, a ddisgyn:
A Duw a ddymchwel, yr un wedd,
ei gamwedd ar ei goryn.

17 I'm Harglwydd Dduw rhof finnau glod,
caf ganfod ei gyfiawnder:
A chanmolaf ei enw yn rhwydd,
yr Arglwydd o'r uchelder.

## PSALM VIII.

O Arglwydd, ein Ior ni a'n nerth,
mor brydferth wyd drwy 'r holl-fyd!
Dy enw a'th barch a roist uwch ben
daear ac wybren hefyd.
2 Peraist it' nerth o enau plant,
a rhai a sugnant beunydd,
Rhag d' elynion: tawed, am hyn,
y gelyn a'r dïalydd.

3 Wrth edrych ar y nefoedd faith,
a gweled gwaith dy fysedd,
Y lloer, y ser, a threfn y rhod,
a'u gosod mor gyfannedd;
4 Pa beth yw dŷn, it' i'w goffhâu,
o ddoniau ac anwyl-fraint?
A pheth yw mab dŷn, yr un wedd,
lle rhoi ymgeledd cymmaint?

5 Ti wnaethost ddyn, o fraint a phris,
ychydig is angylion:
Mewn mawr ogoniant, parch, a nerth,
rhoist arno brydferth goron.
6 Ar waith dy ddwylaw is y nef
y gwnaethost ef yn bennaeth:
Gan osod pob peth dan ei draed,
iddo y gwnaed llywodraeth:

7 Defaid, gwartheg, a holl ddâ maes,
a'r adar llaes eu hesgyll:
Ehediaid nef, a'r pysg o'r don,
sy'n tramwy 'r eigion erchyll.
8 O Arglwydd, ein Ior ni a'n nerth,
mor brydferth wyd drwy 'r holl-fyd!
Dy enw a'th barch a roist uwch ben
daear ac wybren hefyd.

## PSALM IX.

CLODFORAF fi fy Arglwydd Ion,
o'm calon, ac yn hollawl:
Ei ryfeddodau rhof ar led,
ac mae'n ddyled eu canmawl.
2 Byddaf fi lawen yn dy glod;
ac ynod gorfoleddaf:
I'th enw (O Dduw) y canaf glod;
wyd hynod, y Goruchaf.

3 Tra y dychwelir draw'n eu hol
fy holl elynol luoedd:
Llithrant o'th flaen, difethir hwy,
ni ddon' hwy mwy i'w lleoedd.
4 Can's rhoist fy marn yn fatter da,
gwnaethost eisteddfa union:
Eisteddaist ar y gwir, yn siwr
tydi yw 'r Barnwr cyfion.

5 Ceryddaist a distrywiaist di
y cenhedlaethi cyndyn:
Diwreiddiaist ynfyd yn y bôn,
ni bydd byth son am danyn'.
6 Distrywiaist dithau (elyn glas)
do lawer dinas hyfryd:
Darfu dy nerth byth, darfu hyn,
a'r cof o honyn' hefyd.

7 Ond yr Arglwydd i'w nerth a fydd,
ac yn dragywydd pery;
A pharod fydd ei faingc i farn,
a chadarn ydyw hynny.
8 Can's efe a farna y byd,
a'r bobl i gŷd sydd ynddo,
Trwy gyfiawnder, heb ofni neb,
a thrwy uniondeb rhagddo.

9 Gwna 'r Arglwydd hefyd hyn wrth raid,
trueiniaid fo 'u hymddiffyn;
Noddfa a fydd i 'r rhai'n mewn pryd,
pan fo caledfyd arnyn'.
10 A phawb a'th edwyn, rhon' eu cred
a'u holl ymddiried arnad:
Can's ni adewaist (Arglwydd) neb
a geisio 'i wyneb attad.

11 Molwch chwi 'r Arglwydd, yr hwn sydd
yn sanctaidd fynydd Seion:
A d'wedwch i 'r bobl fal yr oedd
ei holl weithredoedd mawrion.
12 Pan chwilio ef am waed neu drais,
fe gofia lais y truain:
Pan eisteddo ar faingc y frawd,
fe glyw y tlawd yn germain.

13 Dy nawdd, Arglwydd, dydi im' sydd
ddyrchafydd o byrth angau:
A gwel fy mlinder gan fy nghas,
y sydd o'm cwmpas innau.
14 Fel y mynegwyf dy holl wŷrth,
a hyn ym mhyrth merch Seion:
Ac fel y bwyf lawen a ffraeth
i'th iachawdwriaeth dirion.

15 Y cenhedloedd cloddiasent ffos,
lle 'i suddent, agos boddi:
I arall lle cuddiasant rwyd,
eu traed a faglwyd ynddi.
16 Yr Arglwydd nef fal hyn yn wir
adwaenir wrth ei farnau:
A'r annuwiol a wnaethai 'r rhwyd,
yn hon y daliwyd yntau.

17 Yr annuwiol i uffern aed,
ac yno gwnaed ei wely:
A'r rhai 'ollyngant Dduw dros gof,
bydd yno fyth eu lletty.
18 Can's byth y gwirion a'r dŷn tlawd
hyd ddydd brawd ni's anghofir:
Y gweiniaid a'r trueiniaid, hwy,
eu gobaith mwy ni chollir.

19 O cyfod, Arglwydd, yn dy wŷn,
na ad i ddyn mo'th orfod:
Barna 'r cenhedloedd gar dy fron,
a'th farn yn union gosod.
20 Gyr arnynt, Arglwydd, ofn dy rym,
yn awchlym i'th elynion:
Fel y gwybyddont, pe baent mwy,
nad ydynt hwy ond dynion.

## PSALM X.

O Arglwydd, pa'm y sefi di
oddiwrthym ni cyn belled?
Pa'm yr ymguddi di a'th rym,
pan ydym mewn caethiwed?
2 Y drygrai sydd yn blino 'r tlawd,
gan drallawd, a chan falchder:
Yn y dichellion a wnai rhai'n,
hwynt hwy eu hunain dalier.

3 Hoff gan ddyn drwg ei chwant ei hun,
pawb yn gytûn â'i bechod:
Bendithio mael ydyw eu swydd,
a'r Arglwydd maent i'w wrthod.
4 Yr annuwiol ni chais Dduw Ner,
(mae ef i'w falchder cyfuwch)
Ni chred ef, ac ni feddwl fod
un fath awdurdod goruwch.

5 Am fod ei ffyrdd mewn llwyddiant hir,
ni wêl mo'th wir gyfammod:
Bydd dordyn wrth elynion mân,
fel chwythu tân mewn sorod.
6 Fe dd'wedodd hyn â'i feddwl syth,
Ni ddigwydd byth im' adfyd:
Ni'm symmudir o oes i oes,
ni chaf na gloes na drygfyd.

7 Yn ddichellgar, yn dwyllgar iawn,
a'i safn yn llawn melldithion:
Tan ei dafod y mae camwedd,
a thraws anwiredd creulon.
8 Mewn cilfachydd y disgwyl fan
i ladd y truan gwirion
Ac ar y tlawd â llygaid llym
yn dangos grym ei galon.

9 Fe orwedd fel y llew i'w ffau,
i dorw ei faglau trawsion:
Y gwan a'r tlawd a dyn i'w rwyd,
ac yno dalwyd gwirion.
10 Fe dducham, fe a'mgrymma 'i hun,
fel un ar farw o wendid:
Ac ef yn gryf, â fel yn wael,
ar wan i gael ei ergyd.

11 Yn ei galon d'wedodd am Dduw,
nad ydyw yn gofiadur:
Cuddiodd ei wyneb, ac ni wêl
pa beth a wnel creadur.
12 Cyfod, Arglwydd, dyrcha dy law,
dy fod i'n cofiaw dangos:
Ac nac anghofia, pan fo rhaid,
dy weiniaid a'th werinos.

13 Paham y cablant hwy wir Dduw,
yr anwir annuw lleddfrom?
Pa'm y meddyliant arnat ti,
nad ymofyni 'm danom?
14 Gwelaist hyn; can's canfyddi drais,
a chospi falais anfad:
Tydi yw gobaith tlawd, a'i borth,
a chynnorth yr ymddifad.

15 Tor ymaith yr annuwiol rym
yn gydlym, a'r maleisus:
Cais allan eu hanwiredd hwy,
ni chai di mwy'n ddrygionus.
16 Yr Arglwydd sydd yn Frenhin byth,
ef yw'r gwehelyth Llywydd:
Distrywiwyd pob cenhedlaeth gref
o'i dir ef yn dragywydd.

17 Duw, gweddi'r gwan a glywaist di,
ac a gysuri'r galon:
Tro eilwaith attom y glust dau,
a chlyw weddïau ffyddlon.
18 Tros yr ymddifaid y rhoi farn,
a'r gwan fydd cadarn bellach:
Megis na's gall daearol ddyn
mo'r pwyso arnyn' mwyach.

## PSALM XI.

CREDAF i'r Arglwydd yn ddi-nam:
paham y d'wedwch weithian
Wrth f'enaid, Hwnt, a hed i'th fryn,
fel wrth aderyn bychan?
2 Wele'r annuwiol â'u bwâu,
a'u cawell saethau'n barod,
Am wirioniaid yn llechu'n fain,
i saethu 'r rhai'n o gysgod.

3 Y seilfain oll i lygredd aeth:
ond beth a wnaeth y gwirion?
Mae'r Arglwydd yn ei ddinas gref,
fe weryd ef y cyfion.
4 Yr Arglwydd o'i orseddfa fry
at y tlawd try ei olwg:
Gweithredoedd holl hiliogaeth dŷn
i'w lygaid ydyn' amlwg.

5 Mae'r Arglwydd o'r naturiaeth hon,
prawf gyfion er ymgeledd:
Ond cas yw gan ei enaid fo
ddyn drwg a hoffo wagedd.
6 Ar bechaduriaid marwor tân
a brwmstan a ddaw'n gawod,
A gwynt tymhestlog uchel iawn;
fal dyna lawn wialennod.

7 Can's cyfion ydyw'r Arglwydd Nêr,
cyfiawnder mae'n ei garu:
A'i wyneb at yr union fry,
a hynny i'w ymg'leddu.

## PSALM XII.

O Achub bellach, Arglwydd cu,
fe ddarfu'r trugarogion:
A'r holl wirionedd ar ball aeth
o blith hiliogaeth dynion.
2 A gwefus gweniaith d'wedant ffug,
er twyll a dug i'r eiddynt:
A chalon ddyblyg, yr un wedd,
y cair oferedd ganddynt.

3 Yr Arglwydd torred, o'i farn faith,
wefusau 'r gweniaith diles:
A'r holl dafodau ffrostus iawn
a fyddo llawn o rodres.
4 Gallwn orfod o nerth tafod,
dwy wefus y sydd eiddom:
Fal hyn y d'wedant hwy yn rhwydd,
A phwy sydd Arglwydd arnom?

5 Yntau ein Duw a dd'wedodd hyn,
Rhag llethu 'r gwaelddyn codaf:
Y dŷn gofidus, tlawd, a'r caeth,
mewn iechydwriaeth dodaf.
6 Pur iawn yw geiriau 'r Arglwydd nef,
a'i 'ddewid ef sydd berffaith,
Fel arian o ffwrn, drwy aml dro,
wed'i goeth buro seithwaith.

7 Ti, Arglwydd, yn ol dy air di,
a'i cedwi mewn hyfrydwch
Byth rhag y ddrwg genhedlaeth hon,
dy weision i gael heddwch.
8 Pan ddyrchafer y trawsion blin,
da ganddyn' drin anwiredd:
Felly daw dynion o bob parth
i lwyfwy gwarth o'r diwedd.

## PSALM XIII.

PA hŷd, fy Arglwydd, Dduw dilŷth?
a'i byth yr wyt mewn anghof?
Pa guddio'r wyd (O Dduw) pa hŷd,
dy lân wyneb-pryd rhagof?
2 Pa hŷd y rhed meddyliau tro
bob awr i flino 'nghalon?
Pa hŷd y goddefaf y dig,
dra codir fy nghaseion?

3 O Arglwydd, edrych arnaf fi,
a chlyw fy ngweddi ffyddlon:
Agor fy llygaid, rhag eu cau
ynghysgfa angau ddigllon.
4 Pe llithrwn ddim (rhag maint yw 'r llid)
fo dd'wedid fy nghorchfygu:
A llawen fyddai fy holl gas,
dal fi o'th ras i fynu.

5 Minnau'n dy nawdd a rois fy ffydd,
a'm holl lawenydd eithaf:
Canaf i'm Duw a'm helpiodd i;
gwnaf gerddi i'r Goruchaf.

## PSALM XIV.

FE dd'wedai 'r ynfyd nad oes Duw,
ac felly byw drwy goegni:
Ymlygru'n ffiaidd, ni chais gel;
nid oes a wnel ddaioni.
2 O'r nef yr edrychodd yr Iôn
ar holl drigolion ddaear,
A roddai neb ei goel ar Dduw,
a cheisio byw'n ddeallgar.

3 Fe giliodd pawb at lygredd byd,
ymdrôent i gŷd mewn brynti:
Nid oes un a wnel well nâ hyn,
nac un a fyn ddaioni.
4 Eu gwddf sy fedd agored cau;
mae eu tafodau 'strywgar:
A gwenwyn lindys sy'n parhâu
dan eu gwefusau twyllgar.

5 A'u genau llawn (fel gwenwyn llith)
o felldith, ac o fustledd:
Ac anian esgud yw eu traed
i dywallt gwaed a dialedd.
6 Distryw ac anhap sy'n eu ffyrdd;
ni 'dwaenant brif-ffyrdd heddwch
Nid oes ofn Duw'n eu golwg hwy;
ni cheisiant mwy 'difeirwch.

7 Pa'm? oni wyddant hwy eu bod
drwy bechod, y modd yma,
Yn ysu fy mhobl, a'u cildroi,
un wedd a chnoi y bara?
8 Gweddïo 'r Arglwydd hwy ni wnant;
yn hyn dychrynant luoedd:
Am fod Duw'n dala gyd â'r iawn,
yn un â'r cyfiawn bobloedd.

9 Gw'radwyddech gynt gyngor y tlawd,
fal y gwnewch drallawd etto:
Am i'r tlawd gredu y doe llwydd
oddiwrth yr Arglwydd iddo.
10 Pwy a all roi i Israël,
o Seion uchel, iechyd?
Pwy ond ein Duw? yr hyn pan wnel,
bydd Iago ac Isr'el hyfryd.

PSALM XV.

DYWAID i mi, pa ddyn a drig
i'th lys barchedig, Arglwydd?
A phwy a erys ac a fydd
ym mynydd dy sancteiddrwydd?
2 Yr hwn a rodia'n berffaith dda,
yr hwn a wna gyfiawnder:
A'r hwn a draetha o'i galon wir,
a drig ar dir uchelder.

3 Yr hwn ni ddywaid, ac ni wna,
ddim ond o'r da bwygilydd:
Ac ni chynnwys y rhai a ron'
i'w cymmydogion g'wilydd.
4 Yr hwn sydd isel yn ei fryd,
yn caru 'i gyd grist'nogion:
Yr hwn sy'n ofni 'r Arglwydd Dduw,
ac sydd yn byw yn ffyddlon.

Yr hwn ni thyng ddim ond y gwir,
er dir neu niweid iddo:
5 Ac ni ro ei arian yn llog,
er dwyn cymmydog dano.
Na gwobr, na rhodd, yr hwn ni fyn,
er dal yn erbyn gwirion.
A wnelo hyn, ni lithra fyth,
fe gaiff y ddilyth goron.

PSALM XVI.

CADW fi, Dduw; can's rhois fy mhwys
a'm coel yn dradwys arnad:
2 Fy Arglwydd wyd; mae dan fy mron
y gyffes hon yn wastad.
Nad lles it' yw, na'm dâ, na'm rhin;
3 ond i drin saint daearol:
I Iesu 'r rhai'n fy 'wyllys yw,
y rhai sy'n byw'n rhinweddol.

4 I'r rhai a redant at dduw gau,
y daw gofidiau amlder:
Eu dïod offrwm o waed, ni
offrymmaf fi un amser;

5 Ni henwaf chwaith. Yr Arglwydd yw
fy modd i fyw, a'm phïol:
A thydi, Ior, sy'n rhoi 'mi ran
a chyfran yn ddigonol.

6 A thrwy Dduw syrthiodd i mi ran
o fewn y fan hyfrydaf:
Digwyddodd imi, er fy maeth,
yr etifeddiaeth lanaf.
7 Bendithiaf finnau Dduw fy Ior,
hwn a roes gyngor ymy:
F' arennau hefyd, ddydd a nos,
sydd im' yn dangos hynny.

8 Rhois fy Ner (bob awr) gar fy mron;
o'r achos hon ni lithraf:
Can's mae ef ar fy nehau law;
yma na thraw ni syflaf.
9 O herwydd hyn, llawen a llon
yw fy nghalon: ac eilwaith,
Hyfryd yw fy mharch a di-ddig,
a'm cnawd a drig mewn gobaith.

10 Can's yn uffern ni edi di
mo'm henaid i, i aros:
Na'th anwyl Sanct (drwy naws y bedd)
i weled llygredd ceuffos.
11 Dangosi im' lwybr i fyw'n iawn;
dy fron yw 'r llawn llawenydd:
Can's yn dy nerth, nid yn y llwch,
mae digrifwch tragywydd.

PSALM XVII.

O Clyw gyfiawnder, Arglwydd mad,
ystyr fy nâd i'th grybwyll:
Clust ymwrando â'r weddi fau,
sydd o wefusau didwyll.
2 Disgwylia 'marn oddiwrthyt ti;
can's da y gweli 'r union:
Profaist a gwyddost ganol nos
mor ddiddos ydyw 'nghalon.

3 Pan chwiliaist fi (da yw dy gof)
ni chefaist ynof gamwedd:
Fy myfyr mad, na'm meddwl llaes,
na ddoed i faes o'm dannedd.
4 I ochel cydwaith dynion drwg,
drwy d'air a'th amlwg gyngor,
Ffordd y dŷn trawsgryf fiaerllug llym,
fe ddysgwyd ym' ei hepgor.

5 Ond yn dy union lwybrau di,
Duw, cynnal fi yn wastad:
Rhag llithro allan o'th iawn hwyl,
Duw, disgwyl fy ngherddediad.
6 Galw yr wyf arnad, am dy fod
yn Dduw parod i wrando:
Gostwng dy glust, a chlyw yn rhodd
fy holl ymadrodd etto.

7 Cyfranna dy ddaionus rad
(ti 'r hwn wyt Geidwad ffyddlon)
I'r rhai sy'n ymroi dan dy law,
rhag broch a braw y trawsion.
8 Cadw fi'n anwyl rhag eu twyll,
fel anwyl ganwyll llygad:
Ynghysgod dy adenydd di
O cadw fi yn wastad:

9 Rhag yr annuwiol a'u mawr bwys,
a rhag fy nghyfrwys elyn,
Y rhai a gais fy enaid i,
gan godi yn fy erbyn.
10 Maent hwy mor dordyn ac mor fras,
ac yn rhŷ gas eu geiriau:
Ac yn rhoi allan ffrost ar led,
gan falched eu parablau.

11 Maent hwy yn amgylchu yn flin
lle yr ŷm ni'n cynniwer.

Ac â u golygon tu a'r llawr,
  mewn gwg a thramawr hyder.
12 Maent hwy fel llew, dan godi gwrych,
  a fai'n chwennych ysglyfaeth:
Neu fel llew ifangc (er ei les)
  a geisiai loches hyfaeth.

13 Cyfod, Arglwydd, o'i flaen ef saf;
  dy help a gaf i'm henaid:
A tharo i lawr â'th gleddyf noeth
  yr enwir fflamboeth tanbaid.
14 Rhag gwŷr dy law, rhag gwŷr y byd,
  sy a'u rhan i gŷd oddiyma,
Gan lenwi boliau, a rhoi i'w plant
  yn fawr eu chwant a'u traha.

15 Minnau mewn myfyr, fel mewn hûn,
  a welaf lun d' wynebpryd:
A phan ddihunwyt o'r hûn hon,
  y byddaf ddigon hyfryd.

## PSALM XVIII.

O Ior fy ngrym, caraf di'n fawr,
  fy nghreiglawr, tŵr f' ymwared:
2 Fy Naf, fy nerth, fy nawdd, fy Nuw,
  hwn yw fy holl ymddiried.
3 Pan alwyf ar fy Ior hynod,
  i'r hwn mae clod yn gyfion:
Yna y'm cedwir yn ddiau
  rhag drygau fy nghaseion.

4 Gofidion angau, o bob tu,
  oeddynt yn cyrchu 'm herbyn:
A llifodd afonydd y fall
  yn ddiball, er fy nychryn.
5 Pan ydoedd fwyaf ofn y bedd,
  a gwaedlyd ddiwedd, arnaf,
Ag arfau angau o bob tu,
  a'm cas yn nesu attaf:

6 Yna y gelwais ar fy Ner;
  ef o'r uchelder clywodd:
A'm gwaedd a ddaeth hyd gar ei fron,
  a thirion y croesawodd.
7 Pan ddigiodd Duw, daeth daear-gryn,
  a sail pob bryn a siglodd:
A chyffro drwy 'r wlad ar ei hŷd,
  a'r holl fyd a gynhyrfodd.

8 O'i enau tân, o'i ffroenau tarth,
  yn 'nynu pob parth wybren:
9 A chan gymmylau dan ei draed,
  du y gwnaed y ffurfafen.
10 Ac fal yr oedd ein Ior fel hyn
  uwch cerubyn yn hedeg:
Ac uwch law adenydd y gwŷnt
  mewn nefol helynt hoywdeg.

11 Mewn dyfroedd, a chymmylau fry,
  mae 'i wely, heb ei weled:
12 Ac yn eu gyrru'n genllysg mân,
  a marwor tân, i wared.
13 Gyrrodd daranau, dyna 'i lef,
  gyrrodd o'r nef genhadon:
14 Cenllysg, marwor tân, mellt yn gwau;
  fal dyna 'i saethau poethion.

15 Distrywiwyd dy gas: felly gynt
  gan chwŷthiad gwŷnt o'th enau,
Gwasgeraist di y moroedd mawr;
  gwelwyd y llawr yn olau.
16 Felly gwnaeth Duw â mi 'r un modd;
  anfonodd o'r uchelder,
Ac a'm tynnodd o'r lle yr oedd
  i'm hamgylch ddyfroedd lawer.

17 Fe a'm gwaredodd Duw, fal hyn,
  oddiwrth fy ngelyn cadarn:
Yn rhydrwm immi, am ei fod,
  rhoi finnau glod hyd ddyddfarn.

18 Safent o'm blaen, ni chawn ffordd rŷdd,
  tra fum yn nydd fy ngofid:
Ond yr Arglwydd ef oedd i'm dal,
  a'm cynnal yn fy ngwendid.

19 Fy Naf ei hun a'm rhoes yn rhŷdd,
  fe fu Waredydd ymy:
Ac o dra serch i mi y gwnaeth,
  na bawn i gaeth ond hynny.
20 Yr Arglwydd a'm gobrwya'n ol
  fy ngwastadol gyfiawnder:
Ac yn ol glendid fy nwy law,
  tâl im' a ddaw mewn amser.

21 Can's ceisiais ffyrdd fy Arglwydd Ner,
  ni wneuthum hyder ormod,
Na dim 'sgeler erbyn fy Nuw;
  gochelais gyfryw bechod.
22 Can's ei ddeddfau maent ger fy mron,
  a'i hollawl gyfion farnau:
Ac ni rois heibio 'r un or rhai'n;
  hwy ŷnt fy nghoelfain innau.

23 Bûm berffaith hefyd o'i flaen, ag
  ymgedwais rhag byw'n rhyddrwg:
24 A'r Arglwydd gobrwyodd fi'n llawn,
  yr hyn fu'n iawn i'w olwg.
25 I'r trugarog, trugaredd rhoi;
  i'r perffaith, troi berffeithrwydd:
26 A'r glân gwnei lendid, ac i'r tyn
  y byddi gyndyn, Arglwydd.

27 Can's mawr yw dy drugaredd di
  gwaredi 'r truan tawel:
Ac a ostyngi gar dy fron
  rai â golygon uchel.
28 Ti a oleui 'nghanwyll i,
  am hynny ti a garaf:
Tydi a droi fy nos yn ddydd,
  a'm tywyll fydd goleuaf.

29 Oblegid ynot ti, fy Naf,
  y torraf trwy y fyddin:
Ie 'n fy Nuw y neidia'n llwyr,
  be tros y fagwyr feinin.
30 Ys perffaith ydyw ffordd Duw nef,
  a'i air ef sydd buredig:
Ac i bob dŷn ynddo a gred,
  mae'n fwcled bendigedig.

31 Can's pwy sydd Dduw? d'wedwch yn rhwydd
  pwy ond yr Arglwydd nefol?
A phwy sydd graig onid ein Duw?
  sef, disigl yw'n drag'wyddol.
32 Duw a'm gwregysodd i â nerth,
  a rhoes im' brydferth lwybrau:
33 Fe roes fy nhraed ar hy-lwybr da,
  gorseddfa 'r uchel fannau.

34 Efe sy'n dysgu rhyfel ym',
  gan roi grym i'm pawennau:
Fel y torrir bwa o ddur
  yn brysur rhwng fy mreichiau.
35 Daeth o'th ddaioni hyn i gŷd,
  rhoist darian iechyd ymy:
A'th law ddeau yr wyd i'm dwyn,
  o'th fwynder yr wy'n tyfu.

36 Ehengaist imi lwybrau teg,
  i redeg buan gamrau:
Nid oes ynof un cymmal gwan,
  ni wegian fy mynyglau.
37 Erlidiais i fy nglias yn llym,
  a daethym i'w goddiwedd:
Ac ni throis un cam i'm hol mwy,
  nes eu bod hwy'n gelanedd.

38 Gwnaethum arnynt archollion hyll,
  fel sefyll na's gallasant:
Ond, trwy ammharch i'w cig a'u gwaed,
  i lawr dan draed syrthiasant.

39 Gwregysaist fi â gwregys nerth,
at wres ac an-gerth rhyfel:
A'r rhai a ddaeth i'm herbyn i,
a gwympaist di'n ddïogel.

40 Fal hyn y gwnaethost imi gau
ar warrau fy ngelynion:
A'm holl gas a ddifethais i,
rhois hwynt i weiddi digon.
41 Ac er gweiddi drwy gydol dydd,
ni ddoe achubydd attynt:
Er galw 'r Arglwydd, ni ddoe neb
a roddai atteb iddynt.

42 Maluriais hwy fel llwch mewn gwŷnt,
fel dyna helynt efrydd:
Ac mi a'u sethrais hwynt yn ffrom,
fel pridd neu dom heolydd.
43 Gwaredaist fi o law fy nghas,
rhoist bawb o'm cwmpas danaf:
Doe rhai ni welsent fi erióed,
â llaw a throed hyd attaf.

44 Addaw ufudd-dod, ond fo gaid
gan blant estroniaid gelwydd:
45 A phlant estroniaid twyll a wnant,
ond crynant i'w stafellydd.
46 Eithr byw yw'r Arglwydd ar fy mhlaid,
fy nghraig fendigaid hefyd:
Dyrchafer Duw; ynddo ef trig
fy nerth, a'm hunig iechyd.

47 Fy Nuw tra fo â'i nerth i'm dal,
rhoi dïal hawdd y gallaf:
A rh'oli pobloedd: can's efô
sydd yn eu t'wyso attaf.
48 Fy ngwaredydd, a'm dyrchafydd,
o chyfyd rhai i'm herbyn,
Wyt ti, O Dduw: a'm dug ar gais
rhag drwg a thrais y gelyn.

49 Am hyn cammolaf di yn rhwydd,
O Arglwydd, Dduw y lluoedd:
Canaf dy glod; a hyn fydd dysg,
ym mysg yr holl genhedloedd.
50 Duw sydd yn gwneuthur (o'i fawr rad)
fawrhâd i frenhin Dafydd:
Ac i'w Enneiniog ei wellâd,
ac i'w had yn dragywydd.

## PSALM XIX.

DATGAN y nefoedd fawredd Duw,
yr unrhyw gwna'r ffurfafen:
2 Y dydd i ddydd, a'r nos i nos,
sy'n dangos cwrs yr wybren.
3 Er nad oes ganddynt air nac iaith,
da 'dywaid gwaith Duw Lywydd:
Dïau nad oes na môr, na thir,
na chlywir eu lleferydd.

4 Aeth eu sain hwy drwy yr holl fyd,
a'u geiriau hyd eithafoedd:
Yr haul teg a'i gwmpas sydd bell,
a'i babell yn y nefoedd.
5 O'r hon y cyfyd ef yn rhod,
fel priod o'i orweddfa:
I'w gwrs cyrch, drwy lawenydd mawr,
fel cawr yn rhedeg gyrfa.

6 O eithaf hyd eithafoedd nef
y mae ef a'i amgylchiad:
Ac ni all dim (lle rhydd ei dro)
ymguddio o'i oleuad.
7 Dysg yr Arglwydd sydd berffaith ddawn,
a dry i'r iawn yr enaid:
Felly rhydd ei wir dystiolaeth
wybodaeth i'r ffyddloniaid.

8 Deddfau Duw Ion ydynt union,
llawenant galon ddiddrwg:
A'i orchymyn sydd bur ddïau,
a rydd olau i'r golwg.
9 Ofn yr Arglwydd sydd lân, a byth
y pery'n ddilyth hyfryd:
Barnau'r Arglwydd ŷnt yn wir llawn
i gŷd, a chyfiawn hefyd.

10 Mwy deisyfiedig ŷnt nag aur,
ïe na choeth-aur lawer:
Melusach hefyd ŷnt nâ'r mel,
sef dagrau ter-fêl tyner.
11 Can's ynddynt dysgir fi, dy was,
ar addas, a'r uniondor:
A'r holl gam sy o'u cadw hwy,
felly ceir gobrwy lawer.

12 Er hynny i gŷd, pwy a all
iawn ddeall ei gamweddau?
O gwna fi'n lân (a bydd ddiddig)
o'm holl guddiedig feiau.
13 Duw attal feiau rhyfyg, chwant,
na thyfant ar fy ngwarthaf:
Yno byddaf wedi 'nglanhâu
o'm holl bechodau mwyaf.

14 O Arglwydd, fy Mhrynwr a'm nerth,
bydded yn brydferth gennyd
Fy 'madrodd pan ddêl gar dy fron,
a'm myfyr calon hefyd.

## PSALM XX.

GWRANDAWED di yr Arglwydd Nêr,
pan ddêl cyfyngder arnad:
Enw Duw Jacob, ein Duw ni,
a'th gadwo di yn wastad.
2 O'i gyssegr rhoed it' help a nerth,
a braich o brydferth Seion:
3 Cofied dy offrwm poeth a'th rodd,
bo' rhai'n wrth fodd ei galon.

4 Rhoed iti, wrth dy fodd dy hun,
dy ddymun a'th adduned:
Dy fwriad iach a'th arfaeth tau,
a'th weddïau gwrandawed.
5 Yn enw ein Duw gorfoleddwn
yn hŷ, a chodwn faner:
A'th ddeisyfiadau gwnaed yn rhwydd
yr Arglwydd o'r uchelder.

6 Yr Arglwydd gweryd (felly gwn)
o'i gyssegr drwn ei 'Neiniog:
Gwrendy ei arch, gyr iddo rym,
yn gyflym ac yn gefnog.
7 Rhai at gerbydau rhont eu pwys,
rhai ar feirch ddwys ymddiried:
Minnau ar enw 'r Arglwydd Dduw,
mai hwnnw yw'n ymwared.

8 Hwy a 'mroisant, a syrthiasant
yn eu nerth eisoes yno:
Codasom a safasom ni,
O Dduw, a thi i'n llwyddo.
9 Cadw ni, Arglwydd, â'th law gref;
boed Brenhin y nef drosom:
Gwrandawed hwnnw arnom ni,
a'n gweddi pan y llefom.

## PSALM XXI.

O ARGLWYDD, yn dy nerth a'th rym
mae'r Brenhin mewn llawenydd:
Ac yn dy iechyd, yr un wedd,
mae ei orfoledd beunydd.
2 Holl ddeisyfiad ei galon lân
iddo yn gyfan dodaist:
Cael pob dymuniad wrth ei fodd,
ac o un rhodd ni phallaist.

3 Can's da'r achubaist ei flaen ef
â doniau nef yn gyntaf:

Ac ar ei ben (ddaionus Ion)
rhoist goron aur o'r puraf.
4 Ef a ofynodd gennyd oes,
a rhoddaist hiroes iddo:
A hon dy rodd dros byth y bydd,
nid â'n dragywydd heibio.

5 I'th iachawdwriaeth y mae'n byw,
a mawr yw ei ogoniant:
Gosodaist arno barch a nerth,
a phrydferth yw ei lwyddiant.
6 Rhoist dy fendithion uwch pob tawl,
yn rhodd drag'wyddawl iddo:
A llewyrch d' wyneb byth a fydd
yn fawr lawenydd arno.

7 Am fod y Brenhin yn rhoi 'i gred
a'i 'mddiried yn yr Arglwydd:
Dan nawdd y Goruchaf tra fo,
gwn na ddaw iddo dramgwydd.
8 A thydi, Arglwydd, â'th law lân,
cei allan dy elynion:
Rag dy ddeheulaw (er a wnant)
ni ddiangant dy gaseion.

9 Di a'u gosodi'n nydd dy ddig,
fel ffwrnais ffyrnig danllyd:
Yr Arglwydd i'w lid a'u difa,
a'r tân a'u hysa'n enbyd.
10 Diwreiddi di eu ffrwyth o'r tir
a'u had yn wir ni thyccian':
11 Am fwriadu it' ddrwg dileu,
heb ddwyn i ben mo'u hamcan.

12 Ti a'u gosodi hwy 'r naill du,
a thi a'th lu i'w herbyn:
Ac a lefeli dy fwâu
at eu hwynebau cyndyn.
13 Ymddyrcha dithau, i' Arglwydd Gun,
i'th nerth dy hun a'th erfid:
Ninnau a ganwn, o'n rhan ni,
i foli dy gadernid.

## PSALM XXII.

DANGOS, fy Nuw, fy Nuw a'm grym,
ba achos y'm gadewaist:
Pell wyd o'm hiechyd, ac o nâd
fy nhloeddiad; llwyr y'm palluist.
2 Fy Nuw, rwy'n llefain, tithau heb
roi im' mor atteb etto:
Bob dydd a nos mae 'nghri'n ddi-ffael,
a heb gael mo'm dyhuddo.

3 A thi wyd sanct, sanct i barhâu,
lle daw gweddiau'n wastad:
A holl dŷ Israel, a'u clod,
a'u pwys a'u hystod, attad.
4 Ynot gobeithiai'n tadau ni,
a thydi oedd eu bwcled:
Ymddiried ynot, Arglwydd hael,
ac felly cael ymwared.

5 Llefasant drwy ymddiried gynt;
da fuost iddynt, Arglwydd:
Eu hachub hwynt a wnaethost di,
rhag cyni, a rhag gw'radwydd.
6 Fo'm rhifir innau megis pryf,
nid fel gŵr cryf ei artod:
Fel dirmyg dynion, a gwarth gwael;
a thybiant gael eu hystod.

7 Pawb a'm gwelent, a'm gwatworent,
ac a'm min-gamment hefyd:
Ysgwyd eu pennau yn dra hy,
a chwedi hynny d'wedyd,
8 A'r yr Arglwydd rhoes bwys a chred,
doed ef i'w wared allan:
Os myn ei ollwng ef ar led,
cymmered iddo 'i hunan.

9 Duw, tynnaist fi o groth fy mam,
rhoist ynof ddinam obaith,
Pan oeddwn i yn sugno bon,
ac o'i dwy fron a'm harchwaith.
10 Arnat ti bwriwyd fi o'r bru,
arnat ti bu fy 'mddiried:
Fy Nuw wyt ti o groth fy mam;
ffyddiais it' am fy ngwared.

11 Oddiwrthyf fi yn bell na ddos,
tra fo yn agos flinder:
I'm cymmorth i, gan nad oes neb
a drotho 'i wyneb tyner.
12 Bustych lawer, a chryfion iawn,
daethant yn llawn i'm gogylch:
A theirw Basan, o bob parth,
yn codi tarth o'm hamgylch.

13 Egorant arnaf enau rhwth,
i'm bygwth, fel y llewod,
A faent yn rhuo eisiau maeth,
o raib ysglyfaeth barod.
14 Fel dwfr 'rwyf fi'n diferu'n chwŷrn,
a'm hesgyrn, sigla 'r rheini:
Fy nghalon o'm mewn darfu'n llwyr,
fel cwyr a fai yn toddi.

15 Fel priddlestr mae fy nerth mor swrth,
ynglŷn wrth fy ngorchfannau
Mae fy nhafod: yr wyf mor drwch,
fy nghyfle yw llwch angau.
16 Can's cwn cylchasant fi, fy Ner,
a chadfa 'sgeler ddiffaith:
Cloddiasant fy nwy law a'm traed,
ac felly gwnaed fy artaith.

17 A rhifo fy holl esgyrn i,
gan gulni, hawdd y gallaf
Maent hwythau'n gweled hynny'n wych,
bob tro yn edrych arnaf.
18 Rhyngthynt i'w mysg y dillad mau
yn rhannau dosparthasant:
A hefyd ar fy mhrif-wisg i
coelbrenni a fwriasant.

19 Tithau, fy nerth, a'm Harglwydd da,
nac ymbellâ oddiwrthy':
O brysia, tydi yw fy mhorth;
a thyr'd â chymmorth ymy.
20 O tyr'd, ac achub yr oes fau
rhag ofn y cleddau ffyrnig:
A gwared o feddiant y ci
fy enaid i, sy'n unig.

21 Ymddiffyn fi rhag y llew glwth;
dwg o'i safn rhwth fy enaid:
Achub, a gwrando fi yn chwŷrn,
rhag cyrn yr unicorniaid.
22 Mynegaf finnau d'enw yn bur
i'm brodyr yn yr orsedd:
Lle mwya 'r gynnulleidfa lân,
dy glod a wna'n gyfannedd.

23 Had Iago ac Israel, chwychwi
rhai ŷch yn ofni 'r Arglwydd,
Drwy ofn y rhowch iddo foliant,
a rhowch ogoniant ebrwydd.
24 Can's ni'ch llysodd, ni'ch dirmygodd,
ni chuddiodd ei wynebpryd:
Eithr gwrandawodd weddi y gwan,
a'i duchan yn ei adfyd.

25 Honot ti bydd, ac i ti gwedd
mewn aml orsedd y moliant:
I Dduw rhof f' addunedau'n llon,
gar bron y rhai a'i hofnant:
26 Diwellir y tlodion: a'r rhai
a geisiai at yr Arglwydd,
A'i molant ef, fe gaiff (gwir yw)
eich enaid fyw 'n dragywydd.

27 Trigolion byd a dront yn rhwydd
at yr Arglwydd, pan gofiant:
A holl dylwythau 'r ddaear hon
dont gar ei fron, ymgrymmant.
28 Can's yr Arglwydd bïau 'r deyrnás,
a holl gwmpas y bydoedd:
Ac uwch eu llaw ef unig sydd
ben Llywydd y cenhedloedd.

29 Y cyfoethogion a swyttânt,
addolant yn eu gwŷnfyd:
Rhai a ant i 'r llwch gar ei fron,
a rhai, braint meirwon hefyd.
30 Y rhai'n oll a'u had, yn un fryd,
gwnant iddo gyd wasanaeth:
A'r rhai'n i 'r Arglwydd, drwy 'r holl dir,
a rifir yn genhedlaeth.

31 Dont, dangosant ei uniondeb,
y rhai sydd heb eu geni:
Hyn a addawodd, ef a'u gwnaeth,
hynny a ddaeth o ddifri'.

## PSALM XXIII.

YR Arglwydd yw fy Mugail clau,
ni ad byth eisiau arnaf:
2 Mi gaf orwedd mewn porfa fras
ar lan dwfr gloywlas araf.
3 Fe goledd f' enaid, ac a'm dwg
'rhŷd llwybrau diddrwg, cyfion:
Er mwyn ei Enw mawr dilys,
fe'm tywys ar yr union.

4 Pe rhodiwn (nid ofnwn am hyn)
yn nyffryn cysgod angau,
Wyd gyd â mi, a'th nerth, a'th ffon:
ond tirion ydyw 'r arfau?
5 Gosodaist fy mwrdd i yn fras,
lle 'r oedd fy nghas yn gweled:
Olew i'm pen a chwppan llawn;
daionus iawn fu'r weithred.

6 O'th nawdd y daw y doniau hyn
i'm canlyn byth yn hylwydd:
A minnau a breswyliaf byth
â'm nŷth yn nhŷ yr Arglwydd.

## PSALM XXIV.

YR Arglwydd pïau 'r ddaear lawr,
a'i llawnder mawr sy'n eiddo:
Yr Arglwydd bïau yr holl fyd,
a'r bobl i gŷd sydd ynddo.
2 Can's fe roes ei sail hi a'i gwedd
yn rhyfedd uwch y moroedd:
Ac a'i gosododd hi yn lân
yn drigfan uwch llif-ddyfroedd.

3 Er hyn, pwy a ddringa yn hŷ
i gyssegr fry yr Arglwydd?
A phwy a saif â theilwng wedd
yngorsedd ei sancteiddrwydd?
4 Dŷn â llaw lân, a meddwl da,
ac yn ddidraha 'i enaid:
Dïorwag, ac ni roes un tro
er twyllo 'i gyfneseifiaid.

5 Gan yr Arglwydd y caiff hwn wlith
ei raslawn fendith helaeth:
A chyfiawnder i bob cyfryw
gan Dduw yr iachawdwriaeth.
6 Hon sy gan Dduw'n genhedlaeth gref,
a'i ceisiant ef yn effro:
A geisiant d'wyneb, dyma'u maeth,
sef gwir genhedlaeth Iago.

7 Dyrchefwch chwi, byrth, eich pennau,
a chwithau ddorau bythol:
Can's Brenhin mawr daw i'ch mewn chwi,
sef pen bri gogoneddol.

8 Pwy yw 'r Brenhin hwn gogonedd?
Arglwydd rhyfedd ei allu:
Yr Arglwydd yw, cyfion ei farn,
a chadarn i ryfelu.

9 Dyrchefwch chwi, byrth, eich pennau,
ehengwch ddorau bythol:
Can's Brenhin mawr daw i'ch mewn chwi,
Brenhin o fri gogonol.
10 Pwy, meddwch, ydyw 'r Brenhin hwn,
a gofiwn ei ogoniant?
Ior y lluoedd yw, Brenhin hedd,
a gogonedd, a ffyniant.

## PSALM XXV.

F' Arglwydd, dyrchefais f' enaid i
hyd attad ti yn union.
2 Fy Nuw, fy ngobaith, gwarth ni cha';
na lawenhâ 'ngelynion.
3 Sawl a obeithiant ynot ti,
y rhei'ni ni w'radwyddir:
Gwarth i'r rhai a wnêl am i ham
ryw dwyll neu gam yn ddihir.

4 Arglwydd, dangos im' dy ffordd di,
a phar i mi ei deall:
Dysg, ac arwain fi yr un wedd
yn dy wirionedd diball.
5 Can's tydi ydwyd Dduw fy maeth,
a'm hiachawdwriaeth unig:
Dy ddisgwyl yr wyf 'r hŷd y dydd,
a hynny fydd i'm diddig.

6 O cofia dy nawdd a'th serch di,
a'th fawr dosturi, Arglwydd:
Cofia fod ynot ti erioed
lawn ddïoed drugarowgrwydd.
7 Na chofia yr anwiredd mau,
na llwybrau fy ieuengetid:
Ond, Arglwydd, cofia fy nghur i,
er dy ddaioni hyfryd.

8 Yr Arglwydd sydd union a da,
a'i ffyrdd i'm' noddfa ydynt:
Fe arwain (fel y mae yn rhaid)
y pechaduriaid ynddynt.
9 Fe ddysg ei lwybrau mewn barn iawn
i 'r rhai ufuddiawn ystig:
Hyddysg yw ei ffyrdd i bob rhai
a fyddai ostyngedig.

10 I 'r sawl a gadwo ddeddfau 'r Ion,
a'i union dystiolaethau,
Gwirionedd a thrugaredd fydd
ei lywydd yn ei lwybrau.
11 Er mwyn dy enw (O Arglwydd mau)
Duw maddau fy anwiredd:
Can's fy nhroseddiad i mawr yw;
mwy ydyw dy drugaredd.

12 Mae, pa ryw wr, yn ein mysg ni,
sydd yn pur ofni 'r Arglwydd?
Fe ddengys y ffordd iddo fo,
hon a ddewiso'n ebrwydd.
13 O hyn y caiff fy enaid cu
le i lettyu'n esmwyth:
A'r holl ddaear hon, a'i gwellâd,
a gânt ei had a'i dylwyth.

14 Ei holl ddirgelwch a ddysg fo
i'r sawl a ofno 'r Arglwydd:
Ac o'i holl gyfammoddau glân
efe a'i gwna'n gyfarwydd.
15 Tueddu 'r wyf, fy Arglwydd mad,
yn wastad â'm golygon:
Can's ef yn unig (yn ddïoed)
rhydd fy nau droed yn rhyddion.

16 Tro attaf, dod im' nawdd diddig;
can's unig wyf, a rhydlawd.

17 Gofidiau 'nghalon ŷnt ar led,
Duw, gwared fi o'm nychdawd.
18 Duw, gwel fy mlinder a'm poen fawr,
a maddeu'n awr fy mhechod :
19 Gwel fy ngelynion, a amlhânt,
ac a'm casânt yn ormod

20 Cadw f' enaid, ac achub fi,
na wnelo'r rheini 'm gwradwydd :
Rhois fy mhwys arnat ti, fy Nâf,
a rhodiaf mewn perffeithrwydd :
21 Cadwed fi fy uniondeb maith ;
can's rhois fy ngobaith ynod :
22 Duw, cadw di holl Israël,
gwared, a gwel ei drallod.

## PSALM XXVI.

BARN fi (O Dduw) a chlyw fy llais ;
mi rodiais mewn perffeithrwydd :
Ac ni lithraf, am im' roi 'mhwys
yn llowndddwys ar yr Arglwydd.
2 Prawf di fy muchedd, Arglwydd da,
a hola ddull fy mywyd :
A manwl chwilia 'r galon fau,
a phrawf f' arennau hefyd.

3 O flaen fy llygaid wyf ar led
yn gweled dy drugaredd :
Gwnaeth dal ar hynny ar bob tro,
im' rodio i'th wirionedd.
4 Nid cyd-eistedd gyd â gwagedd,
neu goegwŷr yn llawn malais :
5 Cas gennyf bob annuwiol rith,
ac yn eu plith ni 'steddais.

6 Mi olchaf fy nwy law yn lân ;
can's felly byddan', f' Arglwydd :
Ac a ddeddaf tu a'th gôr,
ac allor dy sancteiddrwydd.
7 Y modd hyn teilwng yw i mi,
luosogi dy foliant :
Sef, addas i mi fod yn lân,
i ddatgan dy ogoniant.

8 Arglwydd, cerais drigfan dy dŷ,
lle 'r ery' dy anrhydedd :
9 N' ad f' enaid i a'm hoes, ynghŷd
â'r gwaedlyd, llawn anwiredd.
10 Eu dwylaw hwynt sŷ 'sgeler iawn,
y maent yn llawn maleisiau.
A dehau law yr holl rai hyn
sy'n arfer derbyn gwobrau.

11 Minnau'n ddiniweid (felly gwedd)
ac mewn gwirionedd rhodiaf :
Gwared fi drwy dy ymgeledd,
cymmer drugaredd arnaf.
12 Fe saif fy nhroed i ar yr iawn,
ni syfl o'r uniawn droedfedd :
Mi a'th glodforaf, Arglwydd da,
lle byddo mwya 'r orsedd.

## PSALM XXVII.

YR Arglwydd yw fy ngoleu 'gŷd,
a'm hiechyd : rhag pwy 'r ofnaf?
Yr Arglwydd yw nerth f' oes : am hyn,
rhag pwy doe ddychryn arnaf?
2 Pan ddaeth rhai anfad, sef fy nghas,
o'm cwmpas er fy llyngcu,
Llithrasant, a chwympasant hwy,
ni ddaethant mwy i fynu.

3 Ni ddoe ofn ar fy nghalon gu,
pe cyrchai llu i'm herbyn :
Neu pe codai gâd y modd hwn,
mi ni wan-ffyddiwn ronyn.
4 Un arch a erchais ar Dduw Nâf,
a hynny a archaf etto :
Cael dyfod i dŷ 'r Arglwydd glân,
a bod â'm trigfan ynddo :

I gael ymweled â'i deml dêg,
a hyfryd osteg ynddi,
Holl ddyddiau f' einioes : sef wyf gaeth
o fawr hiraeth am dani.
5 Can's y dydd drwg fo'm cudd efe
i'w babell neu ddirgelfa :
I'w breswylfod, fel mewn craig gref,
caf gantho ef orphwysfa.

6 Bellach fe'm codir uwch fy nghas,
sydd mewn galanas ymy :
Aberthaf, caraf, mola 'r Ion,
yn ffyddlon byth am hynny.
7 Gwrando arnaf, fy Arglwydd byw,
brysia a chlyw fy oernad :
Trugarhâ wrthyf, gwel fy nghlwyf,
y pryd y galwyf arnad.

8 Fel hyn mae 'nghalon o'm mewn i
yn holi ac yn atteb :
Ceisiwch fy wyneb ar bob tro ;
fy Nuw, rwy'n ceisio d'wyneb.
9 Na chudd d'wyneb, na lys dy was ;
fy mhorth a'm hurddas fuost :
Duw fy iechyd, na wrthod fi ;
O paid a sorri'n rhydost.

10 O gwrthyd fi fy nhad a'm mam,
a'm dinam gyfneseifiaid :
Gweddia 'r Arglwydd ; ef, er hyn,
o'i ras, a dderbyn f' enaid.
11 Duw, dysg i mi dy ffordd yn rhwydd,
o herwydd fy ngelynion :
Ac arwain fi, o'th nawddol rad,
yn wastad ar yr union.

12 Ac na ddyro fi, er dy ras,
wrth fodd yr atcas elyn :
Can's ceisiodd fy nghaseion mau
dystion gau yn fy erbyn.
13 Oni bai gredu honof fi,
bûm wrth fron torri 'nghalon,
Y cawn i weled da Duw 'n rhad
o fewn gwlad y rhai bywion.

14 Disgwyl di ar yr Arglwydd da,
ymwrola dy galon :
Ef a rydd nerth i'th galon di,
os iddo credi'n ffyddlon.

## PSALM XXVIII.

ATTAD (Ion fy nerth) y rhof lef ;
Duw nef, na fydd di fyddar :
Os tewi, rhag fy myn'd mor drist,
a bod mewn cist dan ddaear.
2 O Arglwydd, erglyw fy llais i,
a derbyn weddi bruddaidd :
Pan godwyf fy nwy law o bell,
Duw, tu a'th gafell sanctaidd.

3 Ac na ddarostwng fi, fy Ior,
dan ddwylo'r annuwiolion :
Y rhai sy'n arwain minau mel,
a rhyfel yn eu calon.
4 Yn ol bwriad eu calon gau,
a'r twyll ddyfeisiau eiddynt,
Yn ol eu drwg weithredoedd hwy,
Duw, tâl eu gobrwy iddynt.

5 Am na 'styriant weithredoedd Duw,
ef a wna ddistryw arnynt :
Am na welent ei wŷrth a'i rad,
ni wna adeilad honynt.
6 Bendigaid fyddo'r Arglwydd nef,
fe glybu lef fy ngweddi :
7 Yr Arglwydd yw fy nerth, a'm rhan,
a'm tarian, a'm daioni.

Ymddiriedais iddo am borth,
a chefais gymmorth ganddo :

Minnau o'm calon, drwy fawr chwant,
a ganaf foliant iddo.
8 Yr Arglwydd sydd nerth i bob rhai
a ymddiriedai'n hylyn;
A'i Enneiniog ef a fydd maeth
ac iechawdwriaeth iddyn'.

9 Gwared dy bobl dy hun yn dda,
bendithia d'etifeddiaeth:
Bwyda, cyfod hwy; am hen hyn
dod iddyn' drag'wyddol-faeth.

## PSALM XXIX.

RHOWCH i'r Arglwydd, a rhowch yn chwŷrn,
chwi blant y cedyrn, foliant:
Cydnabyddwch ei barch, a'i nerth,
mor brydferth, a'i ogoniant.
2 Rhoddwch i enw yr Arglwydd glod,
heb orfod mwy mo'ch cymmell:
Addolwch Arglwydd yr holl fyd,
mor hyfryd yw ei babell!

3 Llais yr Arglwydd sydd uwch dyfroedd,
Duw cryf pair floedd y daran:
Uwch dyfroedd lawer mae ei drŵn;
nid yw ei swn ef fychan.
4 Llais yr Arglwydd, pan fyddo llym,
a ddengys rym a chyffro:
A llais yr Arglwydd a fydd dwys,
fel y bo cymmwys gantho.

5 Llais yr Arglwydd a dyr yn fân
y cedrwŷdd hirlân union:
Yr Arglwydd a dyr yn us-wŷdd
y cedrwŷdd o Libanon.
6 Fel llwdn unicorn, neu lo llon,
fe wna i Libanon lammu,
7 A Sirion oll: llais ein Ior glân
a wna'i fflam dân wasgaru.

8 Llais yr Arglwydd, drwy ddyrys lyn,
a godai ddychryn eres:
Yr Arglwydd a wna ddychryn fflwch
drwy holl anialwch Cades.
9 Llais yr Arglwydd a piau'r glod,
pair i'r ewigod lydnu:
Dinoetha goed; i'w deml, iawn yw
i bob rhyw ei foliannu.

10 Yr Arglwydd gynt yn bennaeth oedd
ar y llif-ddyfroedd cethin:
Yr Arglwydd fu, ef etto sydd,
ac byth a fydd, yn Frenhin.
11 Yr Arglwydd a rydd i'w bobl nerth,
drwy brydferth gyfanneddwch:
Yr Arglwydd rhydd ei bobl ym mhlith
ei fendith, a hir heddwch.

## PSALM XXX.

F' ARGLWYDD, mi a'th fawrygaf di;
can's myfi a ddyrchefaist:
A'm gelynion i yn llawen
uwch law fy mhen ni pheraist.
2 Fy Nuw, pan lefais arnat ti,
y rhoddaist i mi iechyd:
3 Cedwaist fy enaid rhag y bedd,
a rhag diwedd anhyfryd.

4 Cenwch i'r Ion, chwi ei holl saint,
a maint yw gwŷrthiau'r Arglwydd:
A chlodforwch ef gar ei fron,
drwy gofion o'i sancteiddrwydd.
5 Ennyd fechan y sai'n ei ddig,
o gael ei fodd trig bywyd:
Heno brydnhawn wylofain sydd,
y bore ddydd daw iechyd.

6 Dywedais, yn fy llwyddiant hir,
Ni'm syflir yn dragywydd:
O'th ddaioni dodaist, Dduw Ner,
sail cryfder yn fy mynydd.
7 Cuddiaist dy wyneb ennyd awr,
a blinder mawr a gefais.
8 Arnad (O Arglwydd) drwy lef ddir,
fy Arglwydd, i'r ymbiliais.

9 Pa fudd (O Dduw) sydd yn fy ngwaed,
pan fwyf dan draed yn gorwedd?
A phwy a gân it' yn y llawr
dy glod a'th fawr wirionedd?
10 Clyw fi, Arglwydd, a thrugarhâ,
dod gymmorth da i'm bywyd:
11 Canys yn rhad y troist fy mâr,
a'm galar, yn llawenfyd.

Am iti ddattod fy sach grys,
rhoist wregys o lawenydd:
12 Molaf, a chanaf â'm tafod
i'm Harglwydd glod dragywydd.

## PSALM XXXI.

MI a 'mddiriedais ynot, Ner,
fel na'm gw'radwydder bythoedd:
Duw, o'th gyfiawnder, gwared fi,
a chlyw fy nghri hyd nefoedd.
2 Gogwydd dy glust attaf ar frys,
o'th nefol lys i wared:
A bydd im' yn graig gadarn siwr,
yn dŷ a thŵr i'm gwared.

3 Sef fy nghraig wyt, a'm castell cryf;
wyf finnau hyf o'th fawredd:
Er mwyn dy enw tywys fi,
ac arwain i drugaredd.
4 A thyn fy fi o'r rhwyd i'r lan,
a roisan' er fy maglu:
Can's fy holl nerth sydd ynot ti;
da gelli fy ngwaredu.

5 Dodaf fy yspryd yn dy law,
ac af ger llaw i orwedd:
Da y gwaredaist fi yn fyw,
(O Arglwydd Dduw'r gwirionedd)
6 Llwyr y case'is y neb a fâg
i'w galon orwag aflwydd:
Ac mi osodais yn llwyr faith
fy ngobaith yn yr Arglwydd.

7 Mi a 'mhyfrydaf ynot ti;
canfuost fi mewn amser:
Ac adnabuost, wrth fy rhaid,
fy enaid mewn cyfyngder.
8 Llawen fyddaf finnau am hyn;
i'm gelyn ni'm gwarcheaist:
Eithr fy nhraed i, yn eang rŷdd,
da beunydd y sefydlaist.

9 O dangos dy drugaredd, Dduw;
can's cyfyng ydyw arnaf:
Fy llygaid, f' enaid, am bol sydd
yn dioddef cystudd gwaelaf.
10 Fy mywyd im' gwir ofid oedd
fy holl flynyddoedd blinion:
Fy nerth a ballodd o'm drwg cynt,
a'm hesgyrn ydynt bydron.

11 A gwatwor i'm gelynion wyf;
fy nghyd-blwyf a'm gwatwerent:
Fy holl gym'dogion, a phob dŷn,
gan ddychryn a'm gochelent.
12 Fe a'm gollyngwyd i dros go',
fal marw a fo esgeulus:
A hawdd yw hepgor y llestr twn,
o byddai hwn drwg-flasus.

13 Can's clywais ogan llawer dŷn
o'm deutu, dychryn oerloes:
Hwy a 'mgynghorent ar bob twyn,
bwriadent ddwyn fy einioes.

14 Ond yn fy nghaith (Arglwydd byw)
y d'wedais, Fy Nuw ydwyd
15 Y mae f' amseroedd ar dy law,
nid oes na braw nac arswyd.

Tyred, a gwared fi dy was
oddiwrth fy nghas a'm herlid
16 A dangos d'wyneb im' o'th rad,
rhag brad y rhai sy'm hymlid
17 O Arglwydd, na w'radwydder fi,
a rois fy ngweddi arnad:
Ond i'r annuwiol gwarth a wedd,
yn fud i'r bedd o lygriad.

18 Cau gelwyddog wefusau 'rhai'n
y sydd yn darstain crasder,
O ddiystyrwch, â thor tyn,
yn erbyn y cyfiawnder.
19 O mor fawr yw dy rad di-drai,
a roist i'r rhai a'th ofnant!
Cai o flaen meibion dynion glod,
ac ynod ymddiriedant.

20 Oddiwrth syth feilchion (o'th flaen di)
y cuddi hwynt yn ddirgel:
Cuddi yn dda i'r babell dau,
rhag sen tafodau uchel.
21 Mi a fendigaf Dduw yn hawdd;
dangosawdd im' ei gariad:
A gwnaeth ryfeddod dros ei was,
mewn cadarn ddinas gaead.

22 Ofnais i gynt, o'm gobaith drwg,
fy nhroi o'th olwg allan:
Eithyr pan lefais arnat ti,
y clywaist fi yn fuan.
23 O carwch Dduw, ei holl saint ef;
da y clyw lef ffyddloniaid:
Ac ef a dâl yn helaeth iawn
i'r beilch anghyfiawn tanbaid.

24 Cymmerwch gysur yn Nuw Ion,
ef a rydd galon ynoch:
Ac os gobeithiwch ynddo ef,
ei law yn gref bydd drosoch.

## PSALM XXXII.

Y Sawl sy deilwng, gwŷn ei fyd,
drwy faddeu i gyd ei drosedd:
Ac y cysgodwyd ei holl fai,
a'i bechod, a'i anwiredd.
2 A'r dŷn â gwŷnfyd Duw a'i llwydd,
ni chyfri'r Arglwydd iddo
Mo'i gamweddau: yr hwn ni chad
dim twyll dichell-frad ynddo

3 Minnau, tra celwn i fy mai,
yn hen yr ai 'mhibellion;
A thrwy fy rhuad i bob dydd,
cystuddio bydd fy nghalon.
4 Dy law dithau, y dydd a'r nos,
sydd drom drwy achos arnaf:
Troi ireidd-dra fy esgyrn mer
fel sychder y gorphenhaf.

5 Yna y trois innau ar gais,
addefais fy anwiredd:
Tyst yn fy erbyn fy hun fum:
maddeuaist ym' fy nghamwedd.
6 Amserol weddiau, am hyn,
a rydd pob glanddyn arnad:
Rhag ofn, mewn ffrydau dyfroedd maith,
na chair mo'r daith hyd attad.

7 Rhyw loches gadarn wyt i mi,
rhag ing y'm cedwi'n ffyddlon:
Amgylchyni fy fi ar led
â cherdd ymwared gyson.
8 Dithau (O ddyn) dysg gennyf fi
y ffordd y rhodi'n wastad:
Mi a'th gynghoraf di rhag drwg;
y mae fy ngolwg arnad.

9 Fel y march neu y mul na fydd,
y rhai y sydd heb ddirnad:
Mae yn rhaid genfa, neu ffrwyn den,
i ddal eu pen yn wastad.
10 Caiff annuwiolion, a wnant gam,
fawr ofid am eu traha:
A ffyddloniaid Duw, da y gwedd,
trugaredd a'u cylchyna.

11 Chwithau'r cyfion yn dirion ewch,
a llawenhêwch yn hylwydd,
A phob calon sydd union syth:
clodforwch fyth yr Arglwydd.

## PSALM XXXIII.

PA rai bynnag, yn Nuw yr Ion,
sy gyfion, llawenychwch:
I bawb y sydd yn iawn yn byw,
gweddus yw diolchgarwch.
2 A thannau telyn molwch ef;
rhowch hyd y nef ogoniant:
Ar y nabyl gywair ei thôn,
ac ar y gyson ddectant.

3 Cenwch i'r Ion fawl a mawrhâd,
wiw gerdd o ganiad newydd:
Cenwch iddo yn llafar glod,
bid parod eich lleferydd.
4 Am mai union ydyw ei air,
ffyddlon y cair ei weithred:
5 Cyfiawnder a barn ef a'i câr,
a'r ddaear llawn o'i nodded.

6 Gair yr Arglwydd a wnaeth y nef,
a'i Yspryd ef eu lluoedd:
7 Casglai efe ynghŷd y môr,
a'i drysor yw'r dyfnderoedd.
8 Yr holl ddaear ofned ein Duw,
a phob dŷn byw a'i preswyl:
9 Ei arch a saif, a'i air a fydd;
a hynny sydd i'w ddisgwyl.

10 Ef a ddirymmodd (fy Nuw Ior)
holl gynghor y cenhedloedd:
A thrwy lysiant gwnai yn ddi rym,
amcanion llym y bobloedd.
11 Ond ei gynghor ef oddi fry,
a bery'n dragwyddoliaeth:
A'i galon-fryd efe ei hun,
uwch pob rhyw un genhedlaeth.

12 A phob cenhedloedd dedwydd ŷnt,
os Duw iddynt sydd Arglwydd:
A'i etholion efe a'u gwnaeth
yn etifeddiaeth hylwydd.
13 O'r nefoedd fry yr edrych Duw
ar lwybrau pob rhyw ddynion:
14 Ac o'i breswylfa edrych ar
y ddaear, a'i thrigolion.

15 Yr hwn a luniodd galon dŷn,
a edwyn ei weithredoedd:
16 Ac ni chedwir un bydol gun
o'i nerth ei hun, na'i luoedd.
17 A pheth palledig ydyw march,
i gael parch ac ymwared:
Ac ni all achub o law'r Ner
mo'i farchog, er ei gryfed.

18 Wele lawn olwg Duw, a'i wawl,
maent ar y sawl a'i hofno:
A'i drugaredd ef sydd ar led
i'r sawl a 'mddiried ynddo;
19 Er mwyn gwared, pan fo yn rhaid,
rhag angau, enaid adyn:
Ac i borthi y tlawd yn glau
rhag eisiau, a rhag newyn.

20 Ein henaid gan yr Arglwydd hael
sy'n disgwyl cael ei bywyd :
Efe a byrth ein henaid gwan ;
efe yw'n tarian hefyd.
21 Sef yn unig yn Nuw yr Ion
mae'n calon yn llawenu :
Ac yn ei Enw sanctaidd ef
mae hon yn gref yn credu.

22 Duw, dy drugaredd dod i ni,
sef ynot ti y credwn :
Dy drugaredd a'th nawdd i'n dod ;
can's ynod ymddiriedwn.

## PSALM XXXIV.

DIOLCHAF fi, â chalon rwydd,
i 'r Arglwydd bob amserau :
Ei foliant ef, a'i wir fawrhâd
sy'n wastad yn fy ngenau.
2 Fy enaid sydd yn bostio'n rhwydd
o'm Harglwydd, ac o'm perchen :
A phob difalch hynny a glyw,
ac a fydd byw yn llawen.

3 Molwch fy Arglwydd gyd â mi,
cyd-folwn ni ei enw ef :
4 Crïais arno yn fy ofn caeth,
a gwrando wnaeth fy ynglef.
5 Y sawl a edrych arno ef,
â llewyrch nef eglurir :
Ni w'radwyddir o honynt neb,
a'u hwyneb ni ch'wilyddir.

6 Wele, y truan a roes lef,
a Duw o'r nef yn gwrando,
A'i gwaredodd ef o'i holl ddrwg,
a'i waedd oedd amlwg iddo.
7 Angel ein Duw a dry yn gylch
o amgylch pawb a'i hofnant :
Ceidw ei hwynt ; a llawer gwell
nâ chastell yw eu gwarant.

8 O profwch, gwelwch, ddaëd yw
yr Arglwydd byw i 'r eiddo :
A gwŷn ei fyd pob dŷn a gred,
roi ei ymddiried ynddo.
9 Ofnwch Dduw ei holl saint (heb gel)
a'i gwnel, ni bydd pall arnyn' :
10 Nac eisiau dim sydd dda ; er bod
ar g'nawon llewod newŷn.

11 Chwychwi feibion, deuwch yn nês,
gwrandêwch hanes ystyriol :
Dowch, a dysgaf i chwi yn rhwydd
ofni yr Arglwydd nefol.
12 Y sawl a chwennych fywyd hir,
a gweled gwir ddaioni :
13 Cau dy enau rhag drwg di bwyll,
a'th safn rhag twyll a gwegi.

14 Gwrthod ddrwg, gwna dda, a chaîs hedd ;
hon hyd y diwedd dilyn :
A chadw 'r heddwch wedi ei chael ;
fal dyna ddiwael destyn.
15 Y mae yr Arglwydd â'i olwg
ar y dŷn diddrwg cyfion :
A'i glustiau ef, o'i lawn wir fodd,
egorodd i 'r rhai gwirion.

16 Wyneb yr Ion a'i guwch sy dyn
yn erbyn gweithwŷr diffaith :
Y coffa o honynt ef a'i tyr
ar fyr o'r ddaear ymaith.
17 Hawdd y clybu fy Naf o'r nef
leferydd llef y cyfion :
A thra buan (o'i rad a'i rodd)
y tynnodd o'u trallodion.

18 Agos iawn yw ein Duw at gur
y galon bur ddrylliedig :
A da y ceidw ef bob pryd
yr yspryd cystuddiedig.
19 Trwch, ie, ac aflwyddiannus iawn,
a fydd gwr cyfiawn weithiau :
Ei ddrygau oll, Duw, oddi fry,
a'u tyn, a'i try i 'r gorau.

20 Ceidw ei esgyrn ef ei hun,
o honynt un ni ddryllir :
21 A drwg a laddo y drwg was,
a ffrwyth ei gas y lleddir.
22 Eithr holl was'naethwŷr Duw ei hun
yr Arglwydd Gun a'u gwared :
I'r sawl a 'mddiried ynddo ef,
ni all llaw gref mo'r niwed.

## PSALM XXXV.

PLEIDIA (O Arglwydd, yn fy hawl,
â'r sawl a dery'n f' erbyn :
Lle 'r ymrysonant â myfi,
ymwana di â'r gelyn.
2 Mae dy gymmorth? O moes ei gael ;
ymafael yn y tarian :
O cytod, cais dy astalch gron,
a dwg dy waywffon allan.

3 Arguaa ar y y rhai s' ar gam,
i'm herlid am fy mywyd :
Wrth fy enaid dywaid fel hyn,
Myfi a fyn it' iechyd.
4 Gwarth a gw'radwydd fo i bob gradd
a geisio ladd fy enaid :
A thrwy gywilydd troed iw ol
y ffals niweidiol gablaid.

5 Fel yr us o flaen gwŷnt y bon',
Angel yr Ion i'w chwalu :
6 Ar hŷd ffordd dywyll lithrig lefn,
a hwn wrth gefn i'w gyrru.
7 Cloddio pwll, a chuddio y rhwyd,
a wnaethpwyd im' heb achos :
Heb achlysur, maglau a wnaid
i'm henaid yn y cyfnos.

8 O deued, cwymped yn ei rwyd,
yr hon a guddiwyd allan :
Syrthied, a glyned i'w delm rwyll,
a'i drap o'i dwyll ei hunan.
9 Eithr am fy enaid i (Amen)
bidd llawen yn yr Arglwydd :
Fe a fydd hyfryd gantho hyn,
lle daw i 'r gelyn aflwydd.

10 O Arglwydd, dywaid f' esgyrn i,
pwy fydd â thi un gyflwr?
Rhag ei drech yn gwared y gwan,
a'r truan rhag ei 'speiliwr.
11 Tystion gau a godent yn llym,
a holent ym' beth anfad :
12 Drwg im' dros dda talent heb raid,
a'm henaid braint ymddifad.

13 Ond fi, tra fyddent hwy yn glaf,
rhown i'm nesaf liein-sach :
Drwy hir ymostwng ac ympryd,
cym'rais fy myd yn bruddach.
Yr un dosturiol weddi fau,
a ddaeth o'm genau allan,
A droës eilwaith (er fy lles)
i'm mynwes i fy hunan.

14 Mi a ymddygais mor brudd dlawd,
fel am fy mrawd neu 'nghymmar :
Neu fel arwyl dŷn dros ei fam,
ni cherddai gam heb alar.
15 Hwythau yn llawen doent ynghŷd,
pan bwysodd adfyd attaf :
Ofer ddynion, ac echrys lu,
fyth yn min-gammu arnaf.

16 Rhai'n rhagrithwyr, rhai'n watworwyr,
tefrent hwy ei min mwysnidd :
Hwy a'sgyrnygent arnaf fi
bob daint, a'r rheini'n giaidd.
17 Arglwydd, edrych ; Ow pa ryw hŷd
yw 'r pryd y doi o'u harfod ?
Gwared fy enaid rhag y bedd,
foes o ewinedd llewod.

18 Minnau a ganaf i ti glod,
lle bo cyfarfod lluoedd :
Ac a folaf dy enw a'th ddawn,
wrth lawer iawn o bobloedd.
19 Na fydded lawen fy nghas ddyn
i'm herbyn, heb achosion :
Ac na throed (er bwriadu 'mrad)
mo gwrr ei lygad digllon.

20 Nid ymddiriedant ddim mewn hedd ;
dych'mygant ryfedd gelwydd :
Dirwyn dichell, a gosod cryw,
i'r rhai sy'n byw yn llonydd.
21 Lledu safnau, taeru yn dyn,
a d'wedyd hyn yn unblaid :
Ffei, ffei, o honot, hwnt â thi ;
ni a'th welsom di â'n llygaid.

22 Tithau (O Arglwydd) gwelaist hyn,
mor daer yn f'erbyn f'aon' :
Ac na ddos oddiwrthyf ym mhell,
rhag dichell fy nghaseion.
23 Cyfod, deffro, fy Nuw, i'm barn,
yn gadarn gyd â'm gofid :
24 Dydi a fynni 'r uniondeb ;
ni watwar neb o'm plegid.

25 Na âd i'r gelyn, calon wael,
ddiweddu cael ei wynfyd :
Na rhodresu fy llyngcu 'n grwn,
Llyngcasom hwn yn ddybryd.
26 Gwarth a gw'radwydd iddynt a ddel,
sy'n codi uchel chwerthin :
Gwisger hwynt â mefl, ac â chas,
sydd im' alanas ryflin.

27 Llawen fo 'r llaill, a llawn o glod,
sy'n coelio 'mod yn gyfion :
D'wedant, Bid i'n Duw ni fawrhânt,
am roi llwyddiant i'w weision.
28 Minnau, fy Arglwydd, gyd â'r rhain,
myfyriaf arwain beunydd
Dy gyfiawnder di, a'th fawr glod,
â m tafod, yn dragywydd.

## PSALM XXXVI.

WRTH gamwedd dŷn annuwiol sur,
mae'n eglur yn fy nghalon.
Nad oes ofn Duw, na'i farn, na'i ddrwg,
o flaen ei olwg trawsion.
2 Mae yn cyd-ddwyn â'i fai ei hun,
ni wêl mo'i wrthun drosedd :
Nes cael yn eglur i'r holl fyd
ei gas wŷd, a'i auwiredd.

3 Os ei ymadrodd, mae heb wir,
ei enau dihir hydwyll,
Ni fyn wneuthur dim da ychwaith,
yr adyn diffaith dibwyll.
4 Ef yn ei wely ni chais hûn,
ond gosod llun ar gelwydd :
Os yn effro, neu yn ei waith,
ni ochel daith annedwydd.

5 Dy drugaredd (fy Arglwydd Ion)
sydd hyd eithafon nefoedd :
A'th wirionedd di sydd yn gwau
hyd y cymmylau dyfroedd.
6 Dy uniondeb fal mynydd mawr
dy farn fel llawr yr eigion :
Dy nerth fyth felly a barha,
i gadw da, a dynion.

7 O mor werthfawr (fy Arglwydd Dduw)
i bawb yw dy drugaredd !
I blant dynion da iawn yw bod
ynghysgod dy adanedd.
8 Cyflawn o fraster yw 'r tŷ tau,
lle llenwir hwythau hefyd :
Lle y cânt ddiod gennyt Ion,
o flasus afon hyfryd.

9 Gyd â thi mae y loyw-ffrwd hon,
a dardd o ffynnon einioes :
A'th dêg oleuni, ac â'th rad,
y cawn oleuad eisoes.
10 O estyn etto i barhâu,
dy drugareddau tirion :
Ni a'th adwaenom di a'th ddawn
i'r rhai sydd uniawn galon.

11 O Dduw, i'm herbyn i na ddoed
na ffyrdd na throed y balch-ffol :
A llestair attaf, fel na ddaw
na gwaith na llaw 'r annuwiol.
12 Felly y syrthiodd gynt, yn wir,
y rhai enwir a'u drygwaith :
Felly gwthiwyd i lawr hwynt-hwy,
heb godi mwy yr eilwaith.

## PSALM XXXVII.

NA ddala ddrygdyb yn dy ben,
nac o gynfigen ronyn :
Er llwyddo 'r enwir, a wnai gam,
cai weled llam yn canlyn.
2 Sef hwy a dorrir fel gwellt glas,
neu lysiau diflas gwywon :
A hwy a grinant yn ddi-lwydd,
a hynny 'n ebrwydd ddigon.

3 Cred yn yr Arglwydd, a gwna dda,
gobeithia yr hyn gorau :
Bydd ymarhöus yn y tir,
ti a borthir yn ddiau.
4 Bydd di gysurus yn dy Dduw,
di gei bob gwiw ddymuniad :
5 Dy ffyrdd cred iddo, yn ddilŷs
fe rydd d'ewyllys attad.

6 Cred ynddo ef, fo'th ddwg i'r lan,
myn allan dy gyfiawnder :
Mor oleu â'r haul hanner dydd,
fal hynny bydd d'eglurder.
7 Ymddiried i Dduw, disgwyl, taw,
a heb ymddigiaw gronyn :
Er llwyddo i ddryg-dyn ei fawr fai,
yr hwn a wnai yn gyndyn.

8 Paid â'th ddig, na ofidia chwaith ;
gâd ymaith wyllt gynddaredd :
Rhag i hynny dyfu i fod
yn bechod yn y diwedd.
9 O herwydd hyn disgwyl yr Ion,
gwel ddiwedd dynion diffaith :
A'i disgwyl ef, meddianna 'r tir ;
a'r drwg, fo'i torrir ymaith.

10 Goddef y dryg-ddyn dros dro bach,
ni welir mwyach honaw :
Ti ga'i weled y lle y bu,
heb ddim yn ffynnu ganthaw.
11 Ond y rhai ufudd a hawddgar
y ddaear a feddiannant :
A'r rheini, â thangnefedd hir,
diddenir yn eu meddiant.

12 Bwriada 'r dryg-ddyn, o'i chwerw-ddaint,
ar ddrygu braint cyfiawn-ddyn :
13 Duw yn ei watwar yntau 'fydd,
sy'n gweled dydd ei derfyn.

14 Annelu bwa, tynnu cledd,
yw trosedd yr annuwiol,
Er lladd y truan: fel dydd brawd,
i'r tlawd a'r defosiynol.

15 Ei fwa torrir yn ddellt mân,
a'i gledd a â'n ei galon:
16 Mawr yw golud yr ysgeler,
ond gwell prinder y cyfion.
17 Yr Arglwydd a farn bob rhyw fai,
tyr freichiau'r rhai annuwiol:
Ac ef a gynnal yn ddi ddig
y cyfion, ystig, gweddol.

18 Sef edwyn Duw ddyddiau a gwaith
pob rhai o berffaith helynt:
Ac yn dragywydd Duw a wnaeth
dêg etifeddiaeth iddynt.
19 Efe a'u ceidw hwynt i gŷd,
na chânt ar ddrygfyd w'radwydd:
Amser newyn hwynt-hwy a gânt
o borthiant ddigonolrwydd.

20 Y rhai traws enwir, heb ddim cwyn,
fel brasder ŵyn a doddant:
Caseion Duw fydd dynion drwg,
hwy gyd â'r mŵg diflannant.
21 Y gwr annuwiol a fyn ddwyn
yn echwyn, byth ni thalai:
A'r gwr cyfion trugarog fydd,
ac a rydd, ni's gommeddai.

22 Sawl a fendigo Duw (yn wir)
y tir a etifeddan':
A'r rhai a felldithio, o'r tir
i gŷd a fwrir allan.
23 Duw a fforddia, ac a hoffâ,
hŷ-ffordd y gwr calonnog:
24 Er ei gwympo, efe ni friw,
fo'i deil llaw Dduw'n sefydlog.

25 Aethum i bellach yn wr hen,
bûm fachgen, rwy'n cydnabod:
Ni welais adu had gŵr da,
na cheisio'u bara 'nghardod.
26 Echwyn a benthyg cair bob dydd,
trugarog fydd y cyfion:
A'i had ef drwy y nefol wlith
a gaiff o'i fendith ddigon.

27 Arswyda ddrwg, a gwna di dda,
a chyfannedda rhag-llaw:
28 Can's Duw a gâr y farn ddi-dwn,
ninnau a roddwn arnaw.
Nid ymedy efe â'i saint,
ceidw heb haint y rheini:
Ond had yr annuwiolion gau
a ddont i angau difri.

29 Y ddaear caiff y cyfion gŵyl,
lle 'preswyl byth mewn iawnder:
30 A'i enau mynaig wybodaeth,
a'i dafod traeth' ddoethineb.
31 Deddf ei Dduw y sydd yn ei fron,
a'i draed (gan hon) ni lithrant:
32 Dŷn drwg a ddisgwyl ladd y da,
ond ni chaiff yna ffynniant.

33 Ni ad yr Arglwydd (er ei gais,
nac er ei falais lidiog)
Y gwirion yn ei waedlyd law,
i hwn ni ddaw barn euog.
34 Gobeithia yn yr Arglwydd tau,
a chadw ei lwybrau'n gywir:
Cei feddiannu, cei uwch o radd,
a gweled lladd yr enwir.

35 Gwelais enwir yn llym ei big,
a'i frig fel gwŷrdd-bren lawri:
36 Chwiliais a cheisiais yr ail tro
'r oedd efo wedi colli.

37 Ystyria hefyd y gwr pur,
ac edrych dŷ 'r cyfiawnedd:
Di a gei weled cyfryw ddyn,
ma'i derfyn fydd tangnefedd.

38 A gwel y rhai drwy drais sy'n byw,
ynghŷd i ddistryw cwympant:
Fe a ddiwreiddir plant y fall
i ddiwedd gwall, a methiant.
39 Iechyd y cyfion sy o Dduw Nef,
a'i nerth mewn amser cyffro:
40 Cymmorth, ceidw, o ddrwg y tyn,
a hyn am gredu ynddo.

## PSALM XXXVIII.

FY Arglwydd, na cherydda fi
ym mhoethni dy gynddaredd:
Ac na chospa fi yn dy lid,
oblegid fy anwiredd.
2 Can's glŷn dy saethau ynof fi,
a phennau'r rheini'n llymion:
A dodaist arnaf y llaw dau,
a rhoist ddyrnodiau trymion.

3 Nid oes mo'r iechyd, gan dy lid,
i'm cnawd, ond gofid creulon:
Ac nid oes (gan fy mhechod chwŷrn)
mor hedd i'm hesgyrn sychion.
4 Can's fy nghamweddau aent i'r nef,
a thros fy mhen tyfasant:
Un wedd â baich rhŷ drwm o bwys,
fel hyn mor ddwys y'm llethant.

5 Fy nghleisiau sydd fal yn bwdr ddu
yn llygru gan f'ynfydrwydd:
6 Crymmais, a phellais beth bob dydd,
sef galar sydd ac aflwydd.
7 Can's mae fy lwynau'n llawn o wres,
a'm cnawd heb les nac iechyd:
8 Llesg-wan ac ysig yw fy mron,
lle gwaedda calon nychlyd.

9 Clyw, Arglwydd, fi; herwydd o'th flaen
yn hollawl mae 'nymuniad:
Ni chuddiwyd mo'm hochenaid i
oddiwrthit di, fy Ngheidwad.
10 Llamma 'nghalon, palla fy nerth,
a'm golwg prydferth hefyd:
11 Cyfnesaf, cyfaill, câr nid gwell,
hwy aent ym mhell i'm hadfyd.

12 A'm caseion i yn nesáu,
â'u maglau ffug a'u dichell:
Safai fy ngheraint i yn syn,
i edrych hyn o hirbell.
13 Minnau fel dŷn byddar a awn,
megis pe bawn heb glywed:
Neu fel y mudan (dan dristâu)
heb enau yn egored.

14 Yn fud fel hyn y gwn fy mod,
fel un â thafod efrydd:
Heb dd'wedyd unwaith air o'm pen,
i dalu sen a cherydd.
15 Gan im' gredu i ti yn rhwydd,
O Arglwydd Dduw goruchaf:
Rhwydd a hyspys iawn gennyf fi
yw, y gwrandewi arnaf.

16 Mi a ddymunais arnat hyn,
rhag bod i'm gelyn wawdio:
O llithrai fy nhroed ronyn bach,
fo fydd llawenach gantho.
17 Cloffi yn barod 'rwyf yn wir,
a dolur hir sy'm poeni:
18 Addef yr wyf mai iawn im' fod,
fy mhechod sy'n ei beri.
19 A'm gelynion i sydd yn fyw
yn aml eu rhyw, a chryfion,

Sydd yn dwyn cas i mi ar gam,
sef am fy mod yn gyfion.
20 Y rhai a dalant ddrwg dros dda,
a'm gwrthwynebant yn efrydd:
A hyn am ddilyn honof fi
y pur ddaioni beunydd.

21 Duw, nac ymad, na fydd ym mhell,
pan ddelo dichell ffyrnig:
22 Brysia, cymmorth fi yn y byd,
fy Nuw, a'm hiechyd unig.

## PSALM XXXIX.

ADdewais gadw 'ngenau'n gu,
rhag pechu yn fy ngeiriau:
Y dŷn annuwiol lle y bo,
bwriedais ffrwyno 'ngenau.
2 Tewais, tewais fel y dyn mud,
rhag d'wedyd peth daionus:
Pan y cyffroais o hir ddal,
ymattal oedd ofidus.

3 Yn fy nghalon y cododd gwres,
a'm mynwes o'm myfyrdod,
Fel y tân ennynu a wnaeth,
a rhŷdd yr aeth fy nhafod.
4 O dangos im' (fy Arglwydd Ner)
pa amser y diweddaf
Rifedi 'nyddiau: a pha hŷd
o fewn y byd y byddaf.

5 Rhoddaist fy nyddiau fel lled llaw;
i'm heinioes daw byr ddiwedd:
Dïau yn d'olwg di (O Dduw)
fod pob dŷn byw yn wagedd.
6 Sef mewn cysgod y rhodia gwr,
dan gasglu pentwr ofer:
Odid a wyr wrth dyrru dâ,
pwy a'u mwynhâ mewn amser.

7 Beth bellach a obeithiaf fi?
Duw, rhois i ti fy nghalon:
8 Tyn fi o'm camweddau yn rhwydd,
n'âd fi'n w'radwydd i ffolion.
9 Yn fudan gwael yr aethum i,
a hyn tydi a'i parodd:
10 O tyn dy gosp oddiwrthyf swrn,
sef pwys dy ddwrn a'm briwodd.

11 Pan gospech di am bechod wr,
fo wywa'n siwr ei fawredd
Fel y gwyfyn: gwelwch wrth hyn
nad yw pob dŷn ond gwagedd.
12 Clyw fy ngweddi, O Dduw o'r nef,
a'm llef; a gwel fy nagrau:
Dy was caeth wyf (O clyw fy mloedd)
ac felly 'r oedd fy nheidiau.

13 O paid â mi, gâd im' gryfhâu,
cyn darfod dyddiau 'mywyd:
O gwna â mi, sy 'mron fy medd,
drugaredd a syberwyd.

## PSALM XL.

BUM yn dyfal ddisgwyl fy Ner,
ef o'r uchelder clybu:
Clust-ymwrandawodd ef fy llais,
pan lefais ar i fynu.
2 Cododd fyfi o'r pydew blin,
a'r pridd tra gerwin tomlyd:
A rhoes ar graig fy nhroed i wau,
a threfn fy nghamrau hefyd.

3 A newydd gerdd i'm genau rhoes,
clod iddo troes yn hylwydd:
Pawb ofnant pan y gwelant hyn,
a chredant yn yr Arglwydd.
4 Pob gwr yn ddïau dedwydd yw
a roddo ar Dduw ei helynt:
A'r beilch, a'r ffeils â'r chwedlau tro,
nid edrych efo arnynt.

5 Aml (O Dduw) yw y gwŷrthiau tau,
fel dy feddyliau ynny:
A heb un dŷn yn dysgu i ti,
nac yn blaenori hynny.
Y rhai, pe ceisiwn i drwy gred,
eu rhoi ar led, a'u canu,
Mwy amlach ydynt nag y gall
un dŷn heb pall eu traethu.

6 Ni fynnaist offrwm rhodd, na gwerth,
na chwaith un aberth genny':
Er hyn fy nghlustiau i mewn pryd
hwy a egoryd ymy.
7 Hyn pan wrthodaist, d'wedais i,
Duw, wele fi yn dyfod:
Megis o honof mae gwir pur
yn dy ysgrythyr hynod;

8 Y rhyngwn i dy fodd yn llawn,
(O Dduw) 'rwy'n foddlawn ddigon:
Dy ewyllys di a'th lân ddeddf
sy'n greddf yn neutu 'r galon.
9 Mi a bregethais dy air cu
ynghanol llu mawr anian:
Ac ni thawaf, fy Arglwydd gwŷn;
ti wyddost hyn dy hunan.

10 Dy iawnder, iechyd, a'th air gwir,
ni bûm chwaith hir i'w celu,
Na'th drugaredd, na'th roddion da,
rhag un gyn'lleidfa meithlu.
11 Dithau (O Dduw) rhagof na chel
dy dawel drugareddau:
Dy nawdd a'th wir gosod ar led,
bont byth i'm gwared innau.

12 Dagrau o'm hamgylch fydd uwch rhi
a throso'n llif mae pechod:
Amlach ydynt nâ'm gwallt i'm brig,
a'm calon ddig sy'n darfod.
13 Tyred (fy Arglwydd) helpa'n rhodd,
a rhynged bodd it' hynny:
Brysia i'm gwared, na thrig yn hwy,
a bydd gynhorthwy ymy.

14 A chyd-w'radwydder hwynt ar gais,
a fyn drwy drais fy nifa:
A throer i'w hol y rhai y sy
yn chwennych ymy ddirdra.
15 Bont hwy annedd-wag, yn lle tâl,
y rhai â dyfal dafod,
Er gw'radwydd im' a dd'wedant hyn,
Ffei, ffei, ar destyn dannod.

16 Y rhai a'th geisiant di bob pryd,
bont lawen hyfryd hylwydd:
A d'weded a'th gâr di (Dduw Ner)
Mawryger Enw 'r Arglwydd.
17 Coña (O Dduw) fy mod yn wan,
ac yn druan, a dyred:
(O Dduw fy nerth) na thrig yn hir,
tyr'd rhag y dir i'm gwared.

## PSALM XLI.

GWYN ei fyd yr ystyriol frawd,
a wnel â'r tlawd syberwyd:
Yr Arglwydd ystyriol o'r nef
a'i ceidw ef rhag drygfyd.
2 Duw a'i ceidw, a byw a fydd
yn ddedwydd yn ddaearol:
O na ddyro efo yn rhodd
wrth fodd y rhai gelynol.

3 Yn ei wely pan fo yn glaf,
rhydd y Goruchaf iechyd:
A Duw a g'weiria oddi fry
ei wely yn ei glefyd.

4 Dywedais innau yna'n rhwydd,
Dod, f' Arglwydd, dy drugaredd:
Iachâ di 'r dolur sy dan f'ais,
lle pechais mewn anwiredd.

5 Traethu y gwaethaf a wnae'nghas
am danaf, atcas accen:
Pa bryd y bydd marw y gwan,
a'i enw o dan yr wybren?
6 Os daw i'm hedrych, dywaid ffug,
dan gasglu crug i'w galon:
Ac a'i tractha pan el i ffwrdd
i gyfwrdd â'i gyfeillion.

7 Fy holl gaseion doent ynghŷd,
i fradu i gŷd yn f' erbyn:
Ac i ddych'mygu i mi ddrwg,
a minnau'n ddiddrwg iddyn'.
8 Yna dywedent hwy yn rhwydd,
Tywalltwyd aflwydd arno:
Mae ef yn gorwedd yn ei nyth,
ni chyfyd byth oddiyno.

9 F'anwyl gyfaill rhwym im' wrth gred,
fy 'mddiried a'm dewis-ddyn,
A fu yn bwytta' mara erioed,
a godai'i droed yn f' erbyn.
10 Eithyr dy hunan cyfod fi,
o'th ddaioni, Duw o'r nef:
Felly y gallaf fi ar hynt
gael talu iddynt adref.

11 Da gwn fy mod i wrth dy fodd,
wrth hyn, na chafodd cas-ddyn,
A gwna na chaiff un gelyn glas
ddim urddas yn fy erbyn.
12 Felly y gwn am danaf fi,
di a'm cynheli'n berffaith:
Gan fy rhoi i byth gar dy fron
o fysg y dynion diffaith.

13 I Dduw Israël boed yn flith
y fendith (Iôr goruchaf)
Yn oes oesoedd: a thrwy air llên,
Amen, Amen, a draethaf.

## PSALM XLII.

YR un wedd ag y bref yr hydd
am yr afonydd dyfroedd:
Felly y mae fy hiraeth i
am danat ti, Duw 'r nefoedd.
2 Fy enaid i sychedig yw
am fy Nuw byw, a'i gariad:
Pa bryd y dof fi gar dy fron,
fy Nuw a'm cyfion Ynad?

3 Fy nagrau oeddynt ddydd a nos
yn fwyd im', achos gofyn
Im' am fy Nuw bob pen awr bach,
Ple mae fo bellach? meddyn'.
4 O gofio hyn wrthyf fy hun,
fel tywallt ffun fy einioes;
Ynghŷd â theulu Duw yr awn,
pe cawn fy meddwl eisoes.

Hyd at dŷ Dduw yn ystig iawn
yr awn, dan ganu clodydd:
Fel tyrfa a fai'n cadw gwyl;
hyn bûm i'w ddisgwyl beunydd.
5 Trwm wyd f' enaid o'm mewn: paham
y rhoi brudd lam ochenaid?
Disgwyl wrth Dduw, a doi gar bron
ei wyneb tiriòn cannaid.

6 Fy enaid o'm mewn pan fo prudd,
a â yn rhŷdd o'th gofion:
A chofio yr Iorddonen iach,
a'r mynydd bach o Hermon.
7 Dyfnder is dyfnderau y sydd,
ac ar eu gilydd galwant:
A dwfr pob ffrwd, pob llif, pob ton,
hwy dros fy mron a aethant.

8 Fy Naf a roes y dydd im' hedd,
a'r nos gyfannedd ganu,
I ganmawl fy Nuw, hwn a roes
im' einioes i'w folianu.
9 Paham y'm gedyt dros gof cyd?
Duw, wrthyd yr achwynaf:
Er gorthrymder y gelyn cam,
mewn galar pa'm y rhodiaf?

10 Trwy f' esgyrn taro cleddyf llym
mewn gwarthlid ym', oedd edliw
Im' o'm gelynion er fy ngwae.
Dy Dduw p'le mae fo heddiw?
11 Trwm wyd f' enaid o'm mewn: paham
y rhoi brudd lam ochenaid?
Disgwyl wrth Dduw, a doi gar bron
ei wyneb tirion cannaid.

## PSALM XLIII.

BARN fi (O Dduw) a dadleu'n dynn
yn erbyn pobloedd enwir:
Rhag y gwr twyllgar gwared fi,
a rhag drygioni 'r dihir.
2 Can's ti yw Duw fy nerth i gŷd;
paham y'm bwryd ymaith?
A pha'm yr af mor drwm a hyn,
gan bwys y gelyn diffaith?

3 Gyr dy oleu, a moes dy wir;
ac felly t'wysir finnau:
Arweiniant fi i'th breswylf'ydd,
i'th fynydd, ac i'th demlau.
4 Yna yr af at allor Duw,
sef goruchel Dduw hyfryd:
Ac ar y delyn canaf fawl,
Duw, Duw, fy hawl a'm gwŷnfyd.

5 Trwm wyd f' enaid o'm mewn: paham
y rhoi brudd lam ochenaid?
Disgwyl wrth Dduw, a doi gar bron
ei wyneb tirion cannaid.

## PSALM XLIV.

CLYWSOM â'n clustiau (O Dduw cu)
a'n tadau fu'n mynegy
1 ni dy wŷrthiau gynt a oedd
yn yr amseroedd hynny.
2 Sef y cenhedloedd tynnaist hwy,
a'th bobl yn fwyfwy plennaist:
Lladd estroniaid heb ado un,
a'th bobl dy hun a gedwaist.

3 Can's nid â'u cledd eu hun, yn wir,
y cawsant dir na thyddyn:
Nid â nerth eu breichiau yn ffwch
y cadwyd heddwch iddyn':
Ond dy law ddeau, a'th fawr nerth,
a'th olwg prydferth effro,
O herwydd it' eu hoffi: hyn
a barodd iddyn' lwyddo.

4 Ti, Dduw, fy Mrenhin ydwyd; O
Duw, pâr i Iago lwyddiant:
5 Lladdwn a sathrwn, yn d'enw di,
y rheini a'n casaant.
6 Nid yn fy mwa mae fy ngrym,
na'm cleddyf llym f' ymddiffyn:
7 Ond tydi, Dduw, achubaist fi,
a rhoist warth fri i'r gelyn.

8 Am hynny molwn di bob dydd;
cai yn dragywydd fawredd:
Canwn i'th enw gerdd gan dant,
o glod a moliant rhyfedd.
9 Ond ti a giliaist ymaith beth,
daeth arnom feth a gw'radwydd:

Nad ait ti allan gyd â'n llu,
cyfagos fu i dramgwydd.
10 Gwnaethost i nyni droi, heb drefn,
ein cefn at y gelynion:
Felly yr aeth ein dâ o'n gwlad,
yn 'sglyfiad i'n caseion.
11 Rhoist ni yn fwyd (fel defaid gwâr)
ar wasgar i'r cenhedloedd:
12 A gwerthaist dy bobl ar bris bach,
nid hytrach dy oludoedd.
13 Rhoist ni yn watwar (O Dduw Ion)
i'n cymmydogion gwrthryın:
A diystyrwch oll a gwarth
i bawb o bob-parth ydym.
14 Dodaist ni yn ddihareb chwith
ym mhlith yr holl genhedloedd:
Ac yn arwydd i ysgwyd pen,
a chwerg gyfatgen pobloedd.
15 Fy ngwarth byth o'm blaen daw yn hawdd,
fy chwŷs a dawdd fy rhagdal,
16 Gan lais gwarthruddwr, cablwr cas
a gwaith galanas dïal.
17 Er dyfod arnom hynny i gŷd,
ni throes na'n bryd na'n cofion:
Ac ni buom i'th air (O Ner)
un amser yn anffyddlon.
18 Ein calon yn ei hol ni throed,
ni lithrai'n troed o'th lwybrau:
19 Er ein gyrru i ddreigiaidd gell
a'n toi â mantell angau.
20 Os aeth enw ein Duw o'n co',
ac estyn dwylo i arall:
21 Oni wêl Duw y gaugred hon?
ein calon mae'n ei deall.
22 O herwydd er dy fwyn yn wir,
O Dduw, y'n lleddir beunydd,
Fal y defaid ymron eu lladd;
fal dyna radd y llonydd.
23 O deffro, cyfod, Dduw, mewn pryd:
pa'm yr wyd cyd yn gorwedd?
A dihuna, a chlyw fy nghri;
a chofia fi o'r diwedd.
24 Paham y cuddi d'wyneb-pryd?
o darbod hyd ein blinder:
Ein henaid mathrwyd yn y llwch,
gan dristwch a gorthrymder.
25 Wrth y llwch mae ein bol ynglŷn,
fal dyna derfyn gwagedd:
26 Duw, cyfod, cymmorth, gwared ni,
o egni dy druguredd.

## PSALM XLV.

TRAETHODD fy ngalon bethau da;
i'r Brenhin gwna fyfyrdod:
Fy nhafod fel y pin, y sydd
yn llaw 'sgrifennydd parod.
2 Uwch meibion dynion teccach wyd,
tywalltwyd rhad i'th enau:
Herwydd i Dduw roi arnat wlith
ei fendith byth, a'i radau.
3 Gwisg dy gleddau yngwâsg dy glun,
O gadarn Gun gogonedd:
A hyn sydd weddol, a hardd iawn,
mewn llwydd a llawn orfoledd.
4 Marchog ar air y gwir yn rhwydd,
lledneisrwydd a chyfiawnedd:
A'th law ddeau di a â drwy
bethau ofnadwy rhyfedd.
5 A thanat ti pobloedd a syrth,
gan wyrth dy saethau llymion:
Briwant hwy, a glynant yn glau
ym mronnau dy elynion.
6 Dy lân orsedd-fainge (O Dduw fry)
pery i drag'wyddoldeb:
Awdur-fainge dy deyrnas y sydd
awdurol, rhydd uniondeb.
7 Ceraist uniondeb, case'ist gam;
o achos pa'm, Duw Lywydd,
Dy Dduw rhoes arnat ragor fraint,
sef ennaint y llawenydd.
8 Aroglau myrr, ac aloes da,
a chasia, sy ar dy ddillad,
Pan ddelych di o'th ifyrn dai,
lle y'th lawenai 'r holl wlad.
9 Sef merched brenhinoedd yn gwau
gyd â'th garesau cywir:
O'th du deau 'r frenhines ddoeth,
mewn gwisg aur coeth o Ophir.
10 Clyw hyn, O ferch, a hefyd gwel,
ac â chlust isel gwrando:
Mae'n rhaid it' ollwng pawb o'th wlad,
a thŷ dy dad, yn ango'.
11 Yna'i bydd (gan y Brenhin) wych
gael edrych ar dy degwch:
Dy Arglwydd yw, gwna iddo foes,
i gael i'th oes hyfrydwch.
12 Merched Tyrus oedd â rhodd dda:
a'r bobloedd apla o olud,
A ymrysonent gar dy fron,
am roi anrhegion hefyd.
13 Ond merch y Brenhin, glân o fewn,
anrhydedd llawn sydd iddi.
A gwisg o aur a gemmau glân
oddiallan sydd am dani.
14 Mewn gwaith gwe-nodwydd y daw hon
yn wych gar bron ei Harglwydd:
Ac â'i gwŷryfon gyd â hi,
daw attad ti yn ebrwydd.
15 Ac mewn llawenydd mawr a hedd,
ac mewn gorfoledd dibrin,
Hwynt-hwy a ddeuant, wrth eu gwŷs,
i gŷd i lys y Brenhin.
16 Dy feibion yn attegion tau
yn lle dy dadau fyddant:
Tywysogaethau, drwy fawrhâd,
yn yr holl wlad a feddant.
17 Coffâf dy enw di ym mhob oes,
tra caffwyf einioes imi:
Am hyn y bobloedd a rydd fawl
byth yn drag'wyddawl iti.

## PSALM XLVI.

GOBAITH a nerth i'n yw Duw hael;
mae help i'w gael mewn cyfwng:
2 Daear, mynydd, aent hwy i'r môr,
nid ofnaf f' angor deilwng.
3 Pe ymgymmysgai 'r tir a'r dwfr,
nid ofnwn gynnwrf rhuad:
Ped ai 'r mynyddoedd i'r môr mawr,
a'r bryniau i lawr y gwastad.
4 Dinas Duw lle llawen a fydd,
cyfagos glennydd afon:
Cyssegr preswylfa y Rhad,
gan ddyfal rediad Cedron.
5 Duw sydd yn trigo o'i mewn hi,
ni ad hi 'sgogi unwaith:
Duw a'i cymmyrth ar y wawr ddydd
â phreswylfeydd perffaith.
6 Y cenhedloedd pan fyddent ddïg,
a ffyrnig y t'yrnesydd,
Toddai y ddaear o'i flaen ef,
pan glywid llef Duw Ddofydd.
7 Y mae yr Arglwydd gyd â ni,
Ior anifeiri luoedd:

Y mae Duw Iago yn ein plaid,
gyr help wrth raid o'r nefoedd.
8 Y wlad, O dowch i gŷd yn rhwydd,
a gwaith yr Arglwydd gwelwch,
Y modd y gosododd ef ar
y ddaear anniddanwch.
9 Gwna i ryfeloedd beidio'n wâr
hyd eitha'r ddaear lychlyd:
Dryllia y bwa, tyr y ffon,
llysg y cerbydon hefyd.

10 Peidiwch, gwybyddwch mai fi yw
eich unig Dduw a'ch Gwanar:
Ym mysg cenhedloedd mi gaf barch,
a'm cyfarch ar y ddaear.
11 Y mae yr Arglwydd gyd â ni,
Ior anifeiri luoedd:
Y mae Duw Iago yn ein plaid,
gyr help wrth raid o'r nefoedd.

## PSALM XLVII.

CENWCH, a churwch ddwylaw 'nghyd,
holl bobl y byd cyfannedd:
A llafar genwch i Dduw nef,
gan leisio â llef gorfoledd.
2 Sef ofnir Duw uwch daear gron,
ef sydd dros hon yn Frenhin:
3 Dwg bobloedd danom, a phob gwaed,
a than ein traed fo'u disgyn.

4 Fe a rydd i ni feddiant siwr,
gwlad Iago, gwr a garai:
5 Duw a ddyrchafodd wrth y sain,
yr utgorn gain pan leisiai.
6 O cenwch, cenwch, glod ein Duw;
ein Brenhin yw, O cenwch:
7 Duw dros y byd sy Frenhin call,
drwy ddeall ymhyfrydwch.

8 Brenhin yw ef, a da y gwnaeth
lywodraeth ar wŷr bydol:
Ac y mae'n eistedd yn ei drwn,
gorseddfa swn sancteiddiol.
9 Ymgasglant bendefigion byd,
ynghŷd â llu Duw Abra'm:
Duw biau tariannau y tir,
drwy foliant hir yn ddinam.

## PSALM XLVIII.

MAWR ei enw'n ninas ein Duw,
a hynod yw yr Arglwydd:
A'i drigfan ef yno y sydd,
ym mynydd ei sancteiddrwydd.
2 Tegwch bro, a llawenydd gwlad,
yw Seion lathriad fynydd,
Yn ystlysau y gogledd lawr,
tre'r Brenhin mawr tragywydd.

3 Adweinir Duw ym mhlasau hon
yn gymmorth digon hynod:
4 Ac wele, nerth brenhinoedd byd
doent yno i gyd-gyfarfod.
5 A phan welsant, rhyfedd a fu,
ar frys brawychu rhagor:
6 Dychryn a dolur ar bob ffaig,
fel dolur gwraig wrth esgor.

7 Ti â dwyreinwŷnt drylli'n frau
eu llongau ar y moroedd:
8 Fel y clywsom y gwelsom ni,
yn ninas Rhi y lluoedd.
Sef hyn yn ninas ein Duw ni,
sicrhâ Duw hi byth bythoedd:
9 Duw, disgwyliasom am dy ras
i'th deml, ac addas ydoedd.

10 Duw, fel yr aeth dy enw o bŷd,
felly drwy'r byd y'th folir:

Dy law ddeau y sydd gyflawn,
a chyfiawn y'th adweinir.
11 A bryn Seion a lawenhâ,
a merched Iuda hefyd:
A'u llawenydd hwy yn parhâu,
o ran dy farnau hyfryd.

12 Ewch, ewch oddiamgylch Seion sail,
a'i thyrau adail rhifwch:
13 Ei chadarn fur, a'i phlasau draw,
i'r oes a ddaw mynegwch.
14 Can's ein Duw ni byth yw'r Duw hwn;
hyd angau credwn ynddo:
A hyd angau hwnnw a fydd
yn dragywydd i'n t'wyso

## PSALM XLIX.

GWRANDEWCH chwi y bobloedd i gŷd,
trigolion byd deallwch:
2 Gwerin, tlawd, bonheddig, a chryf,
cyfoethog hyf, ystyriwch.
3 O'm genau daw doeth air didwyll,
â'm calon pwyll fyfyriaf:
4 A'm clust gwrandawaf ddammeg ddwys,
â'm llais cerdd fwys a ganaf.

5 Paham yr ofnaf ddrygau'r byd,
yn amser adfyd atcas,
Pan fo anwiredd wedi cau
wrth fy sodlau o'm cwmpas?
6 Mae llawer rhai o wŷr y byd
mewn golud a 'mddiriedant,
A thrwy siarad am werth, â rhi'
y rheini y rhodresant.

7 Ond ni wareda neb mo'i frawd,
ni thâl yn ddidlawd drosto:
Ac ni chymmer Duw y fath dâl,
nac iawn mor sal am dano.
8 Sef pryniad enaid dŷn drud sydd,
a hyn byth gorfydd peidio:
9 Fel y gallo efe fyw byth,
heb fyn'd i nyth yr amdo.

10 Gwelir mai'r bedd yw lletty'r doeth,
y ffol a'r annoeth unwedd:
Marw yw'r naill, a marw yw'r llall,
i arall gâd ei annedd.
11 Meddwl am eu hadeilad byth,
yn ddilyth y parhaant:
Am hyn wrth eu henwau, yn wir,
henwau eu tir a alwant.

12 Ni phery dŷn o gnawdol dras
mewn urddas, er ei adail:
Dïau pob dŷn, pan ddêl ei ddydd,
a ddarfydd fal anifail.
13 Dyma eu ffordd, ffordd ffoledd sydd,
na welant ddydd yn pasio:
Er hyn eu hil a ddêl i'w hol
fydd yn eu canmol etto.

14 Angau yw terfyn pob dŷn byw,
i hwn nid yw ond tammaid:
Myned sydd raid o'r tŷ i'r bedd,
yn rhwym un wedd â'r defaid.
15 Daw dydd i'r cyfion drannoeth teg,
daw im' ychwaneg ystyn:
Daw im' o'r bedd godiad i fyw,
deheu-law Duw a'm derbyn.

16 Er codi o wr mewn parch, neu ddâ,
nac ofna di un gronyn:
17 Ei olud ef, na'i barch, na'i ddâ,
i'r bedd nid â i'w ddilyn.
18 Hwn, tra fu fyw yn rhodio llawr,
gwnai'n fawr o hono 'i hunan,
Gwna 'honot ti dy hun yn fwy,
a hwynt-hwy a'th gammolant.

19 At oes ei dadau hwn pan ddêl,
fâ i'r bedd dirgel efrydd:
20 Dŷn mewn anrhydedd heb ddeall,
(fal llwdn o wall) a ddertydd.

PSALM L.

DUW y duwiau, yr Arglwydd cu,
gan lefaru, a alwodd:
O godiad haul hyd fachlud hwn,
yr holl-fyd crwn cyffroodd.
2 O fryn Seion y daeth Duw Naf,
hon sydd berffeithiaf ddinas,
Mewn tegwch a goleuni mawr,
a llewyrch gwawr o'i gwmpas.

3 Doed rhagddo'n Duw, na fid fel mud,
o'i flaen fflam danllyd ysed,
A mawr dymhestloedd i'w gylch ef,
pan ddêl o nef i wared.
4 Geilw ef am y nefoedd fry,
a'r ddaear obry isom,
I gael barnu ei bobloedd ef:
fal hyn rhydd lef am danom;

5 O cesglwch attaf fi fy saint,
y rhai, drwy rydd-fraint brydferth,
A wnaethant ammod â myfi,
a'i rhwymo hi drwy aberth.
6 A phan ddangoso mintai nef
ei farnu ef yn union,
Sef Duw fydd yn barnu ei hun,
yr unig Gun sydd gyfion.

7 Clyw di fy mhobl, traethaf yn ffraeth
dystiolaeth yn dy erbyn,
Dithau Israël: ac iawn yw,
Duw, sef dy Dduw a'th ofyn.
8 Ni chei di am yr ebyrth tau,
na'th boeth offrymmau gerydd:
Nac am na baent hwy gar fy mron,
y cyfryw roddion beunydd.

9 Ni chymmeraf o'th dŷ un llo,
na hyfr a fo'n dy gorlan:
10 Mi biau 'r dâ 'n y maes sy'n gwau
ar fil o fryniau allan.
11 Pob aderyn erbyn ei ben,
a adw'en ar y mynydd,
Pob dâ maesydd, y lle y maen',
y maent o'm blaen i beunydd.

12 Nid rhaid im' ddanges i ti hyn,
pe delai newyn arnaf:
Ac yn eiddof fi yr holl fyd,
a'i ddâ i gŷd yn llownaf.
13 Ai cig y teirw fydd fy mwyd?
na thyb; nid wyd ond angall:
Ai gwaed hyfrod fydd fy niod?
dysg di o newydd ddeall.

14 Dod dy oglud ar Dduw yn drwm,
a thâl yr offrwm pennaf:
Cân ei fawl ef; a dod ar led
d'adduned i'r Goruchaf.
15 Galw arnaf yn dy ddydd blin:
yno cai fi'n Waredydd.
Yna y cani i mi glod,
am droi y rhod mor ddedwydd.

16 Duw wrth yr enwir dywaid hyn,
Ai 'ti perthyn fy neddfau?
Paham y cym'ri di na'm clod,
na'm hammod, yn dy enau?
17 Sef, cas fu gennyt ti iawn ddysg,
ac addysg ni chymmeraist:
A'm geiriau i (fel araith ffol)
i gŷd o'th ol a deflaist.

18 A phan welaist leidr, rhedaist,
a rhwydaist ran oddiwrtho:
Ac os gordderchwr brwnt aflan,
mynnaist ti gyfran gantho.
19 Gollyngaist di dy safn yn rhŷdd
yn efrydd ar ddrygioni:
A'th dafod a lithrai ym mhell
at ddichell, a phob gwegi.

20 Eisteddaist di, d'wedaist ar gam
ar fab dy fam er enllib.
21 Pan wnaethost hyn, ni'th gospais di,
a thybiaist fi'n gyffelyb.
Ond hwy nâ hyn tewi ni wnaf,
mi a'th geryddaf bellach:
Mi a ddangosaf dy holl ddrwg
o flaen dy olwg hayach.

22 Gwrandêwch; a pheidiwch tra fo'ch byw
â gollwng Duw yn ango':
Pan ni bo neb i'ch gwared chwi,
rhag ofn i mi eich rhwygo.
23 Yr hwn 'aberth o i mi fawl,
yw 'r sawl a'm gogonedda:
I'r neb a drefno'i ffordd yn wiw,
gwir iechyd Duw a ddysga'.

PSALM LI.

TRUGAREDD dod i mi,
Duw, o'th ddaioni tyner:
Ymaith tyn fy anwiredd mau,
o'th drugareddau lawer.
2 A golch fi yn llwyr ddwys
oddiwrth fawr bwys fy meiau:
Fy Arglwydd, gwna'n bur lân fyfi
rhag brynti fy nghamweddau.

3 Can's adwaen fy nghamwedd,
a'm brwnt anwiredd ysig:
Sef beunydd maent gar fy mron i.
4 Yn d'erbyn di yn unig
Y gwneuthum hyn oedd ddrwg,
yn dy lân olwg distrych:
Fel y'th gyfiawner yn ol d'air,
yn bur air pan y bernych.

5 Mewn pechod lluniwyd fi,
ac mewn drygioni dygas:
Felly yr wyf o groth fy mam
yn byw bob cam yn atcas.
6 Ac wele, ceri 'r gwir
o fewn y gywir galon:
Am hyn dysgaist ddoethineb iach
im' o'th gyfrinach ffyddlon.

7 Ag isop golch fi'n lân;
ni byddaf aflan mwyach:
Byddaf fi, o'm golchi mal hyn,
fel eira gwŷn, neu wŷnach.
8 Par i mi weled hedd,
gorfoledd, a llawenydd,
I adnewyddu f' esgyrn i,
a ddryllfaist di â cherydd.

9 O cuddia d'wyneb-pryd
rhag fy mhechodau i gŷd:
Fy anwireddau tyn eu lliw,
O Arglwydd, bid wiw gennyd.
10 Duw, crea galon bur,
dod i mi gysur beunydd:
I fyw yn well tra fwy'n y byd,
dod ynof yspryd newydd.

11 O Dduw, na ddyro chwaith
fi ymaith o'th olygon:
Ac na chymmer dy Yspryd Glân
oddiwrthyf, druan gwirion.
12 Gorfoledd dwg i mi,
drwy roddi im' dy iechyd:
A chynnal â'th yspryd ol ddawn
fi, i fyw'n uniawn hefyd,

13 A dysgaf dy ffordd wir
i'r enwir, a'th addoliad:
A phob pechadur try i'r iawn,
a chyrch yn uniawn attad.
14 Rhag gwaed gwared fi, Dduw,
sef Duw fy iachawdwriaeth:
A'm tafod o'th gyfiawnder di
a gân gerdd wisgi hŷ-ffraeth.

15 Duw, egor y min mau,
â'm genau mi a ganaf,
O Arglwydd, gerdd o'th fawl a'th nerth;
fal dyna 'r aberth pennaf.
16 Can's aberth ni's ceisi,
ac ni fynni offrwm poeth:
Pe y mynnasit, cawsit hyn;
nid rhaid it' dderbyn cyfoeth.

17 Aberthau Duw i gŷd
yw yspryd pur drylliedig:
Ac ni ddi'styri (O Dduw Ion)
y galon gystuddiedig.
18 Bydd dda wrth Seion fryn,
O Arglwydd, hyn a fynni:
Ac wrth Gaersalem dy drefiâd;
a gwna adeilad arni.

19 Cei aberth iawnedd coeth,
cei offrwm poeth yn rhagor:
Cei aberth llosg, a boddlon fych,
cei fustych ar dy allor.

## PSALM LII.

PA'M y rhodresi yn dy frad,
a'th ddrwg fwriad (O gadarn?)
A maint trugaredd Duw bob dydd,
ac felly bydd hyd dydd-farn.
2 Dychymmyg drwg yw 'r fyfyrdawd,
a gwaith dy dafawd 'sgeler:
Hwn sydd fel ellyn llym o ddur,
a'i swydd yw gwneuthur ffalsder.

3 Ni hoffaist dda, gwnait ddrwg yn haws,
a'r traws yn fwy nâ'r union:
4 Hoffaist eiriau distryw a bâr,
ti golyn twyllgar, creulon.
5 Duw a'th ddistrywia dithau byth,
fo dynn dy chwyth o'th gaban:
Ac a dynn dy wraidd di i gŷd
o dir y bywyd allan.

6 Rhai a'i gwelant a arswydant,
can's hwy a ydynt gyfion:
A hwy a chwarddant am ei ben,
pan welon' ddilen greulon.
7 Gwelwch y gwr ni rodd yn ddwys
ar Dduw na'i bwys na'i oglud:
Ond ar ddrygioni yn rhoi nerth,
â rhif, a gwerth ei olud.

8 Minnau, fel olew-wŷdden werdd,
yn nhŷ Dduw cerdd a ganaf:
Ymddiriedaf iddo yn hawdd,
byth dan ei nawdd y byddaf.
9 Mi a'th folaf, a gobeithiaf,
byth bythoedd drwy ymddiried:
Da yw dangos gar bron dy saint
dy enw, a maint dy weithred.

## PSALM LIII

DYWEDAI'r ynfyd wrtho 'i hun,
nad oes un Duw, na dïal:
Ei ddrwg ffieidd-dra, a'i drais tyn,
a ddengys hyn yn ddyfal.
2 Edrychodd Duw i lawr o'r nef
ar ddynion ef a graffodd:
Oedd neb yn deall, oedd un byw
yn ceisio Duw o'i wirfodd.

3 Ciliasai bawb yn ol ei gefn,
a hwy drachefn cyd-lygrynt:
Nid oedd neb a wnelai yr iawn,
nac un yn gyfiawn 'honynt.
4 Pa'm na 'styria gweithwŷr traha
eu bod yn bwytta 'mhobloedd,
Fel y bara? ac heb ddim bri;
ni alwant fi o'r nefoedd.

5 Ofn heb achos arnynt a ddaeth,
y rhai a'ch caeth warchaeodd:
Can's, trwy eu gwasgar i bob parth,
mewn gwarth Duw a'u gwasgarodd.
6 Och fi, na roid i Israël,
o Seion uchel, iechyd:
Pan roddo Duw ei bobl ar led
o drom gaethiwed adfyd;

Yna y bydd Iago yn iach,
ac Israel bach yn hyfryd
Yna y bydd Iago yn iach,
ac Israel bach yn hyfryd.

## PSALM LIV.

DUW, yn d'enw cadw fi'n dda,
a barna i'th gadernid:
2 Duw, clyw fy ngweddi, gwrando 'nghwyn,
a'm llef yn achwyn wrthid.
3 Can's codi 'n herbyn i yn chwŷrn
mae cedyrn ac estroniaid:
Ac heb osod Duw gar eu bron,
mor greulon ynt i'm henaid.

4 Wele, Duw sydd i'm cymmorth rhag
pwy bynnag a gais ddïal:
Duw sydd gyd â'r rhai sy ar blaid
fy enaid, er ei gynnal.
5 Efe a dâl, o'r achos hon,
i'm gelynion eu drygedd:
O tor di ymaith hwynt (fy Ion)
yn eigion dy wirionedd.

6 Rhof aberth it', o 'wyllys da,
a chlodfora' dy enw:
Fy Arglwydd, cymmwys ydyw hyn;
sef ti wyd yn fy nghadw.
7 Gwir yw, Duw a'm gwaredodd i
o'm cyni a'm trallodion:
A'm llygad a gafodd ei fryd
a'i wynfyd o'm caseion.

## PSALM LV.

O Dduw, gwrando fy ngweddi brudd;
nac ymgudd rhag fy nghwynfan:
2 Erglyw a gwel fy ngwael ystâd,
a llais fy nâd a'm tuchan.
3 Hyn rhag rhuadaidd lais fy nghas,
a phwys dŷn llym-ias enwir:
Y rhai a daerant arnaf ddrwg,
a'u llid yn amlwg gwelir.

4 Gofid calon sy'n dwyn fy oes;
daeth angau loes hyd attaf:
5 Mae ofn ac arswyd arnaf caeth,
a dychryn daeth ar f' uchaf.
6 O dra ofn d'wedwn yn fy nghri,
Gwae fi am esgyll c'lommen:
Yna 'r ehedwn i le rhŷdd,
i gael im' lonydd amgen.

7 Wele, awn i grwydro ym mhell,
lle cawn ystafell fachog:
8 Yna y brysiwn ar fy hynt,
rhag rhuad gwŷnt tymhestlog.
9 Dinystria di hwynt (Arglwydd da)
gwahana eu tafodau:
Sef yn y ddinas amlwg drais
a welais, a chynhennau.

10 Dydd a nos ei chylchu yn dro,
a rhodio'r hŷd ei chaerau:
O'i mewn y mae anwiredd mawr,
ac ar ei llawr bechodau.
11 Gan faint ei hanwireddau hi,
a maint drygioni beunydd,
Nid ymâd twyll na dichell chwaith
fyth ymaith o'i heolydd.

12 Ac ni wnaeth fy nghas y gwaith hyn;
pe gelyn, goddefaswn:
A phe dŷn atgas yn ei rôch,
yn hawdd y gochelaswn.
13 Ond tydi, wr, fy nghyfaill gwâr,
fy nghymmar a'm cydnabod,
14 A fu mewn cyd-gyfrinach ddwys
yn eglwys Dduw'n cyfarfod.

15 Terfysg angau arnaw y dêl,
i'r pwll yr el yn lledfyw:
Sef ym mherfedd eu cartref cau
nid oes ond drygau distryw.
16 Minnau gweddiaf ar Dduw byw,
yr hwn a'm clyw mewn amser,
17 Hwyr, a bore, a chanol dydd;
a hyn a fydd drwy daerder.

18 Gwaredodd Duw yr einioes fau
mewn hedd yn nyddiau drygnaws:
Lle'r oedd o'r blaen yn f' erbyn lu,
sef ar fy nhu troes liaws.
19 Duw a'u gostwng hwynt, ac a'm clyw,
sef Brenhin yw er cynnoes:
Hwythau heb ymado â'u chwant,
fy Nuw nid ofnant eisoes.

20 Ef wedi cymmod, a rhoi llaw,
drwy godi braw, a frochodd:
Ef â'r un llaw (yn erbyn hedd)
yr un gyfaredd torrodd.
21 Ei eiriau fal ymenyn gwŷrf,
a'i fwriad ffyrf am ryfel:
Pan fo oel ar ei dafod doeth,
tyn gledd-lyf noeth yn ddirgel.
22 O bwrw d'ofal ar dy Dduw,
o mynni fyw heb syrthio:
Duw a geidw y cyfion byth,
a'r drwg fo i chwyth i gwympo.
23 Sef pob dŷn gwaedlyd bradog dro,
nid oesa fo hyd hanner:
(Fy Arglwydd Dduw) ond ynot ti
mae 'ngobaith i bob amser.

## PSALM LVI.

DUW, dy nawdd im' rhag marwol ddyn,
hwn yn ei wŷn a'm llyngcai:
Sef ymryfelu â mi bydd,
a beunydd y'm gorthrymmai.
2 Llyngcent fi beunydd o dra chas,
(dy ras, O Dduw goruchaf)
Rhai beilch rhy dynnion maent yn llu
yn poeth ryfelu arnaf.

3 Y dydd y bai mwyaf fy nghŵyn,
rhown ynot ddofn ymddiried:
4 Molaf, credaf, nid ofnaf gnawd,
doi yn ddidlawd i'm gwared.
5 Yn fy ymadrodd i fy hun
y ceisiant lun i'm maglu:
Ac ar bob meddwl, a phob tro,
y maent yn ceisio 'nrygu.

6 Ymgasglu, llechu, dirgel hwyl,
a disgwyl fy holl gerdded,
Drwy ymfwriadu i mi loes,
a dwyn i'm heinioes niwed.
7 A ddiangant hwy? Duw, tâl y pwyth,
dod iddynt ffrwyth eu 'nwiredd:
Disgyn y bobloedd yn dy lid;
Duw, felly bid eu diwedd.

8 Duw, rhifaist bob tro ar fy rhod,
fy nagrau dod i'th gostrel:
Ond yw pob peth i'th lyfrau di
a wneuthum i yn ddirgel?
9 Y dydd y llefwyf, gwn yn wir,
dychwelir fy ngelynion:
Am fod drosof fy Nuw â'i law,
mi wn y daw yn union.

10 Gorfoleddaf yngair fy Nuw,
gair f' Arglwydd byw a folaf:
11 Yn Nuw y rhof ymddiried siwr;
beth a wnel gwr, nid ofnaf.
12 O Dduw, mae arnaf fi yn ddled
lawer adduned ffyddlon:
Ac mi a'u talaf hwynt yn rhwydd
i ti, fy Arglwydd cyfion.

13 Am it' ludd dwyn fy oes a'm gwaed,
a llestair i'm traed lithro,
Fel y rhodiwyf fi gar dy fron
yngoleu'r bywion etto.

## PSALM LVII.

DY ras, dy nawdd (fy Nuw) im' dod,
sef ynod ymddiriedaf:
Nes myned heibio'r aflwydd hyn,
dan d'edyn ymgysgodaf.
2 Ymddiried f' enaid ar Dduw sydd;
ar Dduw drwy ffydd y galwaf:
Ac a gwblhâf ei air yn iawn,
sef cyfiawn yw'r Goruchaf.

3 O'r nef yr enfyn geidwad ym',
rhag nerth dŷn llym a'm llyngcai:
Enfyn fy Nuw ei nawdd, a'i hedd,
a'i lân wirionedd didrai.
4 Ym mysg y llewod mae fy oes,
plant dynion poeth-foes eiriau:
Eu dannedd sydd fel gwayw neu saeth,
a'u tafod gwaeth na'r cleddau.

5 Ymddyrcha, Dduw, y nef uwchlâw,
oddiyno daw d'arwyddion:
A bydded dy ogoniant ar
y ddaear, a'i thrigolion.
6 O flaen fy nhraed y rhoisant rwyd,
ac felly'm rhwymwyd weithian:
Ar fy ffordd y cloddiasant glawdd,
i'r hwn yn hawdd syrthiasan'.

7 Parod yw fy nghalon (O Dduw)
O parod yw fy nghalon:
Canaf it' a datcanaf wawd
o fawl fy nhafawd cysson.
8 Deffro dafod, a deffro dant,
a châ i ogoniant beunydd,
Nabl a thelyn, heb ado un:
deffrôf fy hun ar las-ddydd.

9 Mawl it' (O Arglwydd) pan ddeffrôf,
a rof yn mysg y bobloedd:
A chlodfori dy enw a wnaf
lle amlaf y cenhedloedd.
10 Can's cyrhaeddyd y mae dy ras
hyd yn nh'yrnas y nefoedd:
A'th wirionedd di hyd at len
yr wybren, a'i th'yrnasoedd.

11 Ymddyrcha (Dduw) y nef uwchlâw
oddiyno daw d'arwyddion:
A bydded dy ogoniant ar
y ddaear, a'i thrigolion.

## PSALM LVIII.

AI'R uniondeb (O bobloedd wŷch)
yr ydych yn ei dd'wedyd?
A ydych chwi, O blant dynion,
yn barnu'r union hefyd?

2 Hytrach malais sy yn eich bron,
ac ystryw calon dwyllgar:
A gwaith eich dwylaw trawster blin,
tra foch yn trin y ddaear.

3 Y rhai annuwiol aent ar gam,
o groth eu mam newidient:
Ac ar gyfeiliorn myn'd o'r bru,
a chelwydd fu a draethent.
4 Un wedd â gwenwyn y sarph yw
y gwenwyn byw sydd ynddyn':
Neu'r neidr fyddar yn trofâu
dan gau ei chlustiau cyndyn:

5 Yr hon ni wrendy ddim ar lais
na'r wers a gais y rhinwŷr:
Nac un gyfaredd a'r a wna
y cyfarwydda' o swynwŷr.
6 Duw, tor eu dannedd yn eu safn,
diwreiddia'r llafn o dafod:
Duw, dryllia'r bonau, a gwna'n don
bob grudd i'r c'nawon llewod.
7 Todder hwynt fel dwfr ar y tir,
felly diflennir hwythau:
Os mewn bŵa rhoisant saeth gron,
boed torri hon yn ddrylliau.
8 Boent hwy mor ddiffrwyth, ac mor hawdd
a malwen dawdd y todder:
Neu fel rhai bach ni welai'r byd,
o eisiau pryd ac amser.
9 Tâl Duw iddynt ffrwythau eu llid,
cynt nag y llosgid ffagldan:
Tyn hwynt-hwy ymaith yn dy ddig
cyn twymnai cig mewn crochan.
10 A phan weler y dïal hyn,
fe chwardd y glanddyn cyfion:
Pan fo rhŷdd iddo olchi 'draed
yngwâed yr annuwiolion.

11 Yna dywaid dynion fod iawn
a ffrwyth i gyfiawn bobloedd:
A bod ein Duw yn Farnwr ar
y ddaear a'i therfynoedd.

## PSALM LIX.

FY Nuw, gwareda fi rhag brad,
a rhag twyll fwriad gelyn:
Derbyn di drosof, rhag y rhai
a godai yn fy erbyn.
2 Ac ymddiffyn fi yn bybyr
oddiwrth weithredwŷr camwedd:
Achub fyfi rhag cas y byd,
a rhag gwŷr gwaedlyd hygledd.
3 Ac wele, maent hwy i'm cynllwyn;
amcanent ddwyn fy mywyd:
Nid ar fy mai yr haeddais hyn,
ond tynder gelyn gwaedlyd.
4 Duw, rhedent hwy yn barod iawn,
a dim ni wnawn i'w herbyn:
Edrych dithau, fy Arglwydd, rhed,
a thyred i'm hymddiffyn.
5 Ti, Dduw, y llu, Duw Israël,
O deffro, gwel anwiredd:
I'r cenhedloedd na ad di'n rhad,
lle gwnant trwy frad eu trawsedd.
6 Maent hwy yn arfer, gyd â'r hwyr,
o 'mdroi ar ŵyr o bob parth:
A thrwy y ddinas clywch eu swn,
un wedd a'r cwn yn cyfarth.
7 Wele, maent â thafodau rhŷdd;
awch cledd a fydd i'w genau:
Pwy, meddant hwy, all glywed hyn,
ac a wna i'n herbyn ninnau?
8 Ond tydi, fy Arglwydd a'm Duw,
a'u gwel, a'u clyw, a'u gwatwar:
Am ben eu gwaith y chwerddi di,
y cenhedlaethi twyllgar.

9 Ti a attebi ei nerth ef,
a'th law gref a'm hymddiffyn:
10 Duw a'm rhagflaena innau chwip;
caf weled trip i'm gelyn.
11 Na ladd hwynt, rhag i'm pobloedd i
anghofi' dy weithredoedd:
Gwasgar, gostwng hwy yn dy nerth,
Duw darian prydferth lluoedd.

12 Am bechod eu tafodau hwy,
a'u geiriau, mwyfwy balchedd,
Telir iddynt: ni ront air teg,
ond celwydd, rheg, a chregedd.
13 Duw, difa, difa hwynt i'th lid,
a byth na fid un mwyach:
Gwybyddant mai Duw Iago sydd
rwy'r byd yn Llywydd hytrach.

14 Maent hwy yn arfer, gyd â'r hwyr,
o 'mdroi yn llwyr o bob-parth:
A thrwy y ddinas clywch eu swn,
un wedd a chwn yn cyfarth.
15 I gael ymborth crwydro a wnant,
ac oni chânt eu digon,
Nes cael byddant ar hŷd y nos
yn aros dan ymryson.

16 Minnau a ganaf o'r nerth tau,
a'th nawdd yn forau molaf:
Nerth im' a nawdd buost (O Ner)
pan fu gorthrymder arnaf.
17 I ti canaf, O Dduw fy nerth,
a'm hymadferth rymmusol:
Sef tydi yw fy Nuw, fy Naf,
fy Nhwr, fy Noddfa rasol.

## PSALM LX.

O Dduw, dydi a'n gwrthodaist,
ar wasgar gyrraist ymaith:
O sorraist wrthym yn ddi-gel;
tro attom, dychwel eilwaith.
2 Dychrynaist di y ddaear gron,
a holltaist hon yn ddrylliau:
Can's o'th lid di siglo y mae;
iachâ, a chae ei briwiau.

3 Dangosaist i'th elynion di
o bwys caledi ormod:
A'r dd'iod a roist yn eu min,
oedd megis gwin madrondod.
4 Rhoddaist faner, er hyn i gŷd,
i bawb o'r byd a'th ofnant,
I faneru, drwy dy air gwir,
dros lu eu tir lle trigant.

5 Fel y gwareder, drwy lân hwyl,
bob rhai o'th anwyl ddynion:
O achub hwynt â'th law ddeau,
a gwrando finnau'n ffyddlon.
6 Yn ei sancteiddrwydd d'wedodd Duw,
Llawen yw fy nghyfammod:
Mi rannaf Sichem 'rhŷd y glyn;
mesuraf ddyffryn Succod.

7 Myfi bïau y ddwy dref-tâd,
sef Gilead a Manasseh:
Ephraim hefyd yw nerth fy mhen,
a Judah wen f' anneddle.
8 Ym Moab ymolchi a wnaf,
dros Edom taflaf f' esgid:
A chwardded Palestina gaeth,
a'i chwerthin aeth yn rhybrid.

9 Duw, pwy a'm dwg i'r ddinas gref?
pwy a'm dwg i dref Edom?
10 Er it' ein gwrthod, pwy ond ti,
O Dduw, a 'mleddi drosom?
Ynot yn unig mae'n coel ni,
pe rhon i ti ein gwrthod:

Er nad aethost o flaen ein llu,
bydd ar ein tu mewn trallod.
11 O unig Dduw, bydd di 'ni'n borth,
ofer yw cymmorth undyn:
12 Yn Nuw y gwnawn wrolaeth fawr,
fo sathra i lawr y gelyn.

## PSALM LXI.

ERGLYW (O Dduw) fy llefain i,
ac ar fy ngweddi gwrando:
2 Rhof lef o eitha 'r ddaear gron,
a'm calon yn llesmeirio.
Dwg fi i dalgraig uwch nâ mi,
ac iddi bydd i'm derbyn:
3 Can's Craig o obaith, Tŵr di-fost,
im' fuost rhag y gelyn.

4 O fewn dy babell y bydd byth
fy nhrigfan di-lyth dedwydd:
A'm holl ymddiried a fyn fod
ynghysgod dy adenydd.
5 Sef tydi, Dduw, clywaist yn glau
fy addunedau puraidd:
Rhoist etifeddiaeth i bob rhai
a ofnai d' enw sanctaidd.

6 Rhoi oes i 'r Brenhin, nid oes fer;
fo fydd fyw lawer blwyddyn:
7 (Duw) gar dy fron y trig yn hir;
dod nawdd a gwir i'w ganlyn.
8 A thrwy y rhai'n y molaf fi
dy enw di'n dragywydd:
Ac felly peri i mi gwblhâu
fy addunedau beunydd.

## PSALM LXII.

FY unig Dduw ydyw fy mhlaid;
mae f' enaid yn ei ddisgwyl:
O honaw ef, a thrwy ei rym,
daw iechyd ym' o'm hanhwyl.
2 Duw yw fy Nghraig, a'm hunig Nerth,
ac Ymadferth fy einioes:
Ac am hyn, drwy ymddiffyn hir,
mi ni'm ysgogir eisoes.

3 Ba hŷd y mae'n eich bryd barhâu
i fwrw'ch maglau aflwydd?
Lleddir chwi oll; gwthir yn llwyr
fel magwyr ar ei gogwydd.
4 Ymgasglent, llunient gelwydd mawr,
i'w roi i lawr o'i fawredd:
Ar eu tafodau rhoi bendith,
a melldith dan eu dannedd.

5 Fy enaid, dod (er hyn i gŷd)
ar Dduw dy fryd yn ddyfal
Ynddo gobeithiaf fi er hyn;
efô a'm tyn o'm gofal.
6 Sef Craig ymddiffyn yw ef ym',
fy Nhŵr, a Grym fy mywyd:
Am hynny y credaf yn wir
na'm mawr ysgogir ennyd.

7 Yn Nuw yn unig mae i gŷd
fy iechyd a'm gogoniant:
Fy Nghraig yw, a'm Cadernid maith,
a'm Gobaith yn ddilysiant.
8 Gobeithiwch ynddo, gar ei fron
tywelltwch galon berffaith:
Ac ymddiriedwch tra foch byw,
a d'wedwch, Duw yw'n gobaith.

9 Plant Adda gwagedd ynt i gŷd,
plant gŵr sydd hud a gwegi:
Gwaccach nâ gwagedd yn eu tawl,
mewn mantawl wrth eu codi.
10 Na rowch eich coel ar gam na thrais;
rhaid yw i falais drwcio:
Os cynnydda cyfoeth y byd,
na rowch mo'ch gogludarno.

11 Duw a lefarodd hyn unwaith,
mi glywais ddwywaith hynny:
Sef, mai Duw biau 'r nerth i gŷd,
gostyngiad byd, neu ffynnu.
12 O Arglwydd, ti hefyd a fedd
drugaredd a daioni:
I bawb dan gwmpas wybren faith
yn ol ei waith y teli.

## PSALM LXIII.

TYDI, O Dduw, yw y Duw mau,
mi geisia'n forau attad:
Y mae fy enaid yn dra sych,
a'm cnawd mewn nych, a'm danad.
2 Mewn lle heb ddwfr, mewn crinder cras,
ceisiais o'th ras dy weled,
Mal y'th welswn yn y deml gynt,
ar helynt nerth gogoned.

3 Can's dy drugaredd (O Dduw byw)
llawer gwell yw nâ'r bywyd:
A'm gwefusau y rhof it' fawl,
a cherdd ogonawl hyfryd.
4 Felly tra fwyf fi fyw y gwnaf,
ac felly 'th folaf etto:
Ac yn dy enw di, sydd gu,
y caf ddyrchafu 'nwylo.

5 Digonir f' enaid, fel â mer,
â chyflawn frasder hefyd:
A'm genau 'gân dy foliant tau
â phur wefusau hyfryd.
6 Tra fwyf fi yn fy ngwely clyd
caf yn fy mryd dy gofio:
Ac yngwyliadwriaethau'r nos
caf achos i fyfyrio.

7 Ac am dy fod yn gymmorth ym',
drwy fawr rym dy drugaredd,
Fy holl orfoledd a gais fod
dan gysgod dy adanedd.
8 Y mae f' enaid wrthyd ynglŷn;
dy ddeau sy'n fy nghynnal:
9 Elont i 'r eigion, drwy drom loes,
y rhai a'm rhoes mewn gofal.

10 Syrthiant hwynt-hwy ar fin eu harf,
sy noeth er tarf i'r gwirion:
A chwedi eu meirw, hwynt-hwy dod
yn fwyd llwynogod gwŷlltion.
11 Ond y Brenhin, yn enw ei Dduw,
boed tra fo byw yn llawen:
A phwy bynnag a dyngo i'w Fawredd,
a gaiff orfoledd amgen.

Ond o'r diwedd y daw yn wir,
fe a dyweiltir tywod,
I gau safnau y rhai y sydd
yn tywallt celwydd parod.

## PSALM LXIV.

O Arglwydd Dduw, erglyw fy llef,
a chlyw o'r nef fi'n erfyn:
O Dduw, cadw fy einioes i,
y sydd yn ofni 'r gelyn.
2 A chuddia fi dros ennyd bach
rhag cyfrinach y rhai drwg:
A rhag terfysg y rhai sy'n gwau
i wneuthur camwau amlwg.

3 Hogi tafodau fel y cledd,
a d'wedyd bustledd ddigon:
Saethant ergydion i'm sarhâu,
a'r rhai'n oedd eiriau chwerwon.
4 I saethu'n ddirgel bigau dur
yn erbyn pur ei galon,

Yn ddisymmwth heb ofni neb,
a thrwy gasineb creulon.
5 Ymgryf hânt hwy yngwaith y fall,
gan guddio'n gall eu rhwydau:
Yna y d'wedant, Pwy a'n gwel
yn bwrw dirgel faglau?
6 Gan chwilio dyfnder drygau trwch,
o fewn dirgelwch eigion:
A phawb i'w gilydd yn rhoi nôd
o geuedd gwaelod calon.
7 Ond y mae Duw â'i saeth ynghûdd,
rhydd yn ddi-rybudd ergyd:
Ef a dâl adref yr hawl hon,
yn ddyfu archollion gwaedlyd.
8 Gwaith y tafodau drwg lle bo,
a fyn lwyr syrthio arnynt:
Pob dŷn a'u gwel, a dybia'n well
gilio ym mhell oddiwrthynt.
9 Yna y dywaid pawb a'i gwel,
Gwaith y Goruchel yw hyn:
Can's felly y deallant hwy
y cospir fwyfwy 'r gelyn.
10 Ond yn yr Arglwydd llawenhâ,
ac y gobeithia'r cyfion:
A gorfoledda ynddo'n iawn
pob dŷn ag uniawn galon.

## PSALM LXV.

I Ti (O Dduw) y gweddai mawl
yn y sancteiddiawl Seion:
I ti y telir, trwy holl gred,
bob gwir adduned calon.
2 Pawb sydd yn pwyso attad ti,
a wrendy weddi dostur:
Ac attad ti y daw pob cnawd,
er mwyn gollyngdawd llafur.
3 Pethau trawsion, a geiriau mawr,
myfi i'r llawr bwriasant:
Ond tydi, Dduw, rhoi am gamwedd
drugaredd a maddeuant.
4 Dy etholedig dedwydd yw,
caiff nesnes fyw i'th babell:
Trig i'th gynteddau, ac i'th lys,
a'th sanctaidd weddus gangell.
5 Duw'n Ceidwad, attebi i ni
o'th ofni i'th gyfiawnedd:
Holl obaith wyd trwy'r ddaear hon,
a'r môr cynhyrfdon rhyfedd.
6 Hwn a sicrhâ bob uchel fryn
â'i wregys yn gadernyd:
7 Hwn a ostega'r môr, a'r don,
a rhuad eigion enbyd.
8 A holl breswylwŷr eithaf byd
sy'n ofni' gŷd d' arwyddion,
I ti, gan fore, a chan hwyr,
y canant laswyr ffyddlon.
9 Dyfrhâu y ddaear sech yr wyd,
afon Duw llanwyd drosti:
Darperaist lif-ddwfr 'rhŷd ei llawr,
i'w thramawr gyfoethogi.
10 Pob rhych yr wyt yn ei ddyfrhâu,
a'i chwysau 'r wyt i'w gostwng:
A'i rhoi ym mŵyd mewn cafod wlith,
i'w chnwd rhoi fendith deilwng.
11 Coroni 'r ydwyt ti fal hyn
y flwyddyn â'th ddaioni:
Y ffordd hyn a'r modd (Duw fy Ner)
diferaist frasder arni.
12 Ef a ddifera ffrwyth dy serch
ar bob rhyw lannerch ddyrys.
Pob mynydd sych yn uchder gwlad
o ffrwyth dy rad y dengys,
13 Trwy dy fendith y gwastad dir
a guddir oll â defaid:
Crechwennant, canant bawb ynghŷd,
a'r wlad ag ŷd ei llonaid.

## PSALM LXVI.

YN Nuw ymlawenhêwch i gŷd,
yr hollfyd: a datgenwch
2 Ogoniant ei enw hyd y nef,
a'i foliant gref a draethwch.
3 Wrth Dduw d'wedwch, Fo bair dy law
i'th elyn oerfraw anfad:
Rhag amled yw nerth y llaw hon,
â dy gaseion danad.
4 Felly 'r holl fyd i gŷd a'u rhi
i ti a ymostyngant:
Canant it' fawl, ac ant hyd lawr;
i'th enw mawr y canant.
5 O dowch, edrychwch, ofnus yw
gweithredoedd ein Duw cyfion:
Ofn ei weithredoedd a rydd ddysg
ym mysg holl feibion dynion.
6 Fo droes y môr cech yn dir sych,
ai wŷr yn droed-sych trwyddo,
A thrwy yr afon: llawen fu
eu bod heb wlychu yno.
7 Ef byth bydd Lywydd cadarn gwŷch,
a'i olwg edrych beunydd
Ar y cenhedloedd trwy'r holl fyd;
ni chyfyd rhai anufudd.
8 O bobioedd, molwch Dduw ar gais,
a moeswch lais ei foliant:
9 Hwn sy'n dal bywyd yn y gwaed,
a ddeil ein traed na lithrant.
10 O Dduw, profaist a choethaist ni
un wedd a choethi arian:
11 Yn gaeth y dygaist ni i'th rwyd,
ein cyrph a wasgwyd weithian.
12 Aethom trwy ddwfr a thân yn gaeth,
bu rai'n marchogaeth arnom:
O peraist hyn; ni bu chwaith hir,
i ddiwall dir y daethom.
13 Ag offrwm poeth i'th dŷ yr af,
talaf fy addunedau,
14 Y rhai mewn cyfwng, rhag mwy trais,
addewais â'm gwefusau.
15 Poeth ebyrth breision it' a rof,
aroglaeth cof cyfammod:
Ychen, hyrdd, offrymmu a wnaf,
ac etto rhoddaf fychod.
16 O dowch yn nes, a gwrandêwch chwi
sy'n ofni Duw tragfythoes:
Mi a fynegaf i chwi'n ffraeth
pa les a wnaeth i'm heinioes.
17 Llefais i arno â'm genau,
a'r tafod mau a'i molawdd:
18 Pe troiswn fy nghalon at fai,
Duw a'm gwrandawsai'n anhawdd.
19 Diau Duw a'm clybu yn hawdd,
gwrandawawdd ar fy ngweddi:
20 Bendigaid yw; fo a'm clywawdd,
ni throes mo'i nawdd oddiwrthi.

## PSALM LXVII.

TRUGAREDD Duw i'n plith,
a rhoed ei fendith drosom:
A thywynned ei wyneb-pryd,
a'i nawdd, a'i iechyd, arnom.
2 Fel y gwyper dy ffyrdd
trwy'r ddaear gyd-wŷrdd gnydoedd:
A'th iachawdwriaeth di (O Dduw)
ym mysg pob rhyw genhedloedd.

3 Duw, moled pobloedd di,
rhont fawl a bri trwy 'r holl-fyd :
4 A'r holl genhedloedd is wybren,
byddant lawen a hyfryd.
Can's ti a ferni 'n iawn
y bobl trwy lawn wybodaeth :
Ac a roi 'r holl genhedloedd ar
y ddaear mewn llywodraeth.

5 Duw, moled pobloedd di,
rhont fawl a bri trwy 'r holl-fyd :
6 Yna rhydd y tir ffrwyth i'n plith,
a Duw ei fendith hefyd.
7 A Duw, sef Duw ein Tad,
a roddo 'i rad a thyciant,
A therfynau y ddaear gron,
a phawb ar hon a'i hofnant.

## PSALM LXVIII.

YMGYFODED un Duw ein Ner,
gwasgarer ei elynion :
Un drygddyn bonynt nac arhôed,
o'i flaen ffoed ei gaseion.
2 Os chwalu mŵg mewn gwŷnt sy hawdd,
os tawdd cwyr wrth eirias-dân :
Fel hynny o flaen Duw (yn wir)
yr enwir a ddiflannan'.

3 Ond llawenycher ger bron Duw
y cyfion, i'w orfoledd :
A'u hyfrydwch hwynt-hwy a fydd
yn llawenydd cyfannedd.
4 Cenwch, a molwch enw Duw,
sef hwn yw uwch y nefoedd
Yn marchogaeth, megis ar farch,
i'w enw rhowch barch byth bythoedd.

5 A gorfoleddwch gar ei fron,
Duw tirion, Tad ymddifaid :
Ac i 'r gweddwon mae'n Farnwr da
yn ei breswylfa gannaid.
6 Duw a wna rai mewn tŷ'n gyttûn,
ei hun mae'n gollwng gefyn :
Ac yn rhoi trigfau mewn tir cras,
i ddynion atcas cyndyn.

7 Pan aethost (Dduw) o flaen dy lu,
dy dalth a fu trwy dd'rysni :
8 Y ddaear crynodd o flaen Duw
a'r nef rhoes amryw ddefni.
Ac felly Sinai o flaen Duw,
(sef un-Duw Israel hawddgar)
9 Ar d'etifeddiaeth hidlaist wlaw,
i ddiflinaw y ddaear.

10 Gwrteithiaist hon, dy bobloedd di
sydd ynddi yn preswylio :
O'th rad darperaist (Dduw) i 'r tlawd
i gael digondawd yno.
11 Yr Arglwydd Dduw a roddai 'r gair,
mawr niintai 'r cantoresau :
12 Cilient gedyrn ; gweiniaid arhônt,
yr yspail rhont yn rhannau.

13 Pes ymdroech mewn parddu a llwen,
chwi fyddwch fel y g'lommen,
A'i phlu yn aur ac arian teg,
yn hedeg is yr wybren ;
14 Hon, pan wasgarodd Duw yn chwŷrn
bob cedyrn o'i gaseion,
Oedd mor ddisgleirwych, ac mor wen,
ac eira 'r ben bryn Salmon.

15 Mynydd Duw (sef Seion) y sydd
fel Basan fynydd tirion :
Mynydd Basan, uchel ei grib,
cyffelyb yw i Seion.
16 Chwychwi fynyddoedd cribog, pa'm
y bwriwch lam mewn cyffro?
Duw ar Seion ei serch a roes,
lle myn ef eisoes drigo.

17 Rhif ugain mil o filoedd yw
angylion Duw mewn cerbyd :
Ynghyssegr Sinai bu ei wlith ;
bydd Duw i'w plith hwy hefyd.
18 I 'r uchelder y dyrchefaist,
a chaethgludaist gaethiwed :
Cym'raist, dodaist ddoniau, Duw Ion,
i ddynion oedd ddiniwed.

19 Bendigaid fyth fo 'r Arglwydd mau,
am ddoniau ei ddaioni :
A'i iachawdwriaeth i ni'n llwyth,
o bêr-ffrwyth ei haelioni.
20 Efe ei hun yw'n Duw ni i gyd,
sef Duw ein hiechyd helaeth :
Trwy 'r Arglwydd Dduw cawn, yn ddiswrth
ddiangc oddiwrth farwolaeth.

21 Duw yn ddiammeu a dyr ben
a thalcen ei elynion :
A choppa walltog rhai a fo
yn rhodio mewn drwg creulon.
22 Dygaf fy mhobloedd (meddai ef)
hyd adref, fel o Basan :
A dygaf hwynt i'w hol drachefn,
fel o'r môr don-lefn allan.

23 Fel y gwlychech dithau dy draed
yn llif gwaed dy ddigasau :
Ac y llyfo dy gŵn, heb [illegible],
y gwaed a ddêl o'u b[illegible]au.
24 Gwelodd pawb (O Dduw) dy ystâd,
yn dy fynediad sanctaidd,
Mynediad fy Naw, Frenhin fry,
fel hyn i'w dŷ cyssegraidd.

25 Y cantorion aent hwy o'r blaen,
cerddorion aen' ol ynol :
Yna 'r gwŷryfon, beraidd gân,
a'r tympan, yn y canol.
26 Clodforwch Dduw, hynny sydd dda
ym mhob cyn'lleidfa ddiwael :
A chlodforwch yr Arglwydd Ion,
chwi sydd o ffynnon Israel.

27 Doed Benjamin y llywydd bach,
doed bellach dugiaid Juda :
Doed Nephtali, a Zabulon,
a'u tywysogion, yna.
28 Dy Dduw a drefnodd iti nerth,
a'i law sydd brydferth geidwad :
Duw, cadarnha etto yn faith
arnom ni waith dy gariad.

29 Er mwyn Caersalem, adail dêg,
rhydd cedyrn anrheg yty :
30 Difetha dyrfa y gwaywffyn,
a'r rhai a fyn ryfely.
Dewr fel teirw, nwyfus fel lloi,
y rhei'ni a roi yr arian :
Delont i 'r iawn, tyn nerth a nwy',
a gostwng hwy yn fuan.

31 Y pendefigion o'r Aipht draw
a ddaw, ac Ethïopia,
At Dduw yn brysur, i roi rhodd,
ac aberth gwirfodd, yna.
32 Holl d'ymasoedd y ddaear lawr,
i Dduw mawr cenwch foliant :
Cenwch, cenwch ei glod yn rhwydd,
sef Arglwydd y gogoniant.

33 Hwn a farchogodd y nef fry,
a hynny o'r dechreuad :
Wele, daw nerthol sain ei lef
o eitha 'r nef i wastad.
34 Rhoddwch gadernid i Dduw Ner,
sef uchder ei ragoriaeth.

Y sydd ar Israël, a'i nerth
uwch wybrau prydferth gywaeth.
35 Duw, o'th gyssegr y'th ofnir di,
Duw Israel, dodi nerthoedd:
A chadernid mawr wyd i'th blaid;
bendigaid rych oes oesoedd.

## PSALM LXIX.

ACHUB fi, Dduw (yr hwn a'm gwnaeth)
tros f' enaid daeth llif-ddyfrloes:
2 Yr wyf mewn dyfnder tom ynglŷn,
heb le i 'mddiffŷn f' einioes.
O'r dyfnder daethum fel ar fawdd,
a'r ffrwd a lifawdd uchod:
3 Sychodd fy ngheg, blinodd fy llais,
a'm llygaid pallais ganfod.
4 A hyn wrth ddisgwyl Duw a'i ras,
wele, fy nghas yn amlach
Nâ'r gwallt ar ben fy nghoppa fry,
a'r trawsion sy'n gadarnach.
Y rhai celwyddog, taerion ynt,
rhois iddynt beth ni chefais:
5 Adwaenost (Dduw) f' ynfydrwydd mau,
a'm beiau fi ni chuddiais.
6 O'm plegid i dim gwarth ni chânt,
y rhai a goeliant arnad:
Na ad (Dduw'r lluoedd) fefl na thrais
i'r rhai a ymgais attad.
7 (Duw Israël) sef er dy fwyn,
yr wyf yn dwyn gwarthrudd-deb:
A thrwy gywilydd ymarbois,
mewn chwŷs y tois fy wyneb.
8 I bobl dïeithr wyf fi (gwn pa'm)
i blant fy mam fel estron:
9 A'm fod fy serch a'm zel i'th dŷ.
i'm bysu hyd fy nghalon.
Can's cabl y rhai a'th gablant di,
ar f' ucha i mae'n disgyn:
10 Fy nagrau, cystudd, a'm hun-pryd,
ynt warth i gŷd i'm herbyn.
11 A phan wisgwn i liain sach,
bûm ddïystyrach lawer:
12 Bûm chwedl drws i gryf a thlawd,
i'r meddw yn wawd i'w harfer.
13 Ond, f' Arglwydd Dduw, gwnaf attad fi
fy ngweddi yn amserol:
O gwrando fi, i'th wirfawr hedd,
ac i'th wirionedd grasol.
14 Duw, gwared fi, a gwna fi'n rhŷdd
o'r dom y sydd i'm suddo:
Sef caseion, dyfroedd dyfnion,
a mi nid ofnaf gyffro.
15 Na lifed dwfr drosof yn ffrwd,
na'm llyngced amrwd ddyfnder:
Na chaued pydew arnaf chwaith
mo'i safn diffaith ysgeler.
16 Gwrando fi bellach, Arglwydd Dduw;
can's da yw dy drugaredd:
Yn amlder dy dosturi mawr,
edrych i lawr rhag trawsedd.
17 O'm cyfyngder oddiwrth dy was
na chudd mo ras dy wyneb:
'Rwyf yn gweddïo yn fy ngloes:
Duw, brysia, moes i'm atteb.
18 Nesâ at f' enaid, Arglwydd mau,
er fy rhyddhâu a'm gwared:
Moes ymddiffyn, rhag cael o hon
gan fy ngelynion niwed.
19 Duw, di a weli o bob parth
fy ngw'radwydd, gwarth, a'm c'wilydd:
O herwydd rhodio ger dy fron
mae fy ngelynion beunydd.
20 Mewn gorthrwm ofid yr wyf fi,
a gwarth yn torri 'nghalon:
Disgwyl cymhorthwŷr, ni ddoe neb,
ni chawn gysurdeb tirion.
21 Bustl a roisan' yn fwyd i mi,
finegr i dorri syched:
22 Eu bwrdd boed iddynt fagl aflwydd,
a'u llwydd yn dramgwydd bydded.
23 Ar eu llygaid dallineb doed;
i'w llwynau boed crynfëydd:
24 Tywallt arnynt dy ddig a'th lid;
doed iddynt ofid beunydd.
25 Boed eu palasau'n wag heb wedd,
ac anghyfannedd iddyn',
Na allo neb na dydd na nos
mo'r aros yn eu tyddyn.
26 Can's yr hwn a darawsid ti,
mae'r rheini yn ei erlid:
A'r doluriau y sydd o'th friw,
y maent i'w hedliw hefyd.
27 Dod gamwedd ar eu camwedd hwy,
na ddont mwy i'th gyfiawnder:
28 Ymaith o lyfr y bywyd llawn,
o fysg y cyfiawn, tyner.
29 Finnau pan fwyf ofidus wan,
a phan fwyf druan hefyd,
Dy iachawdwriaeth di (O Dduw)
eilchwyl i fyw a'm cyfyd.
30 Moliannaf d'enw, Dduw, ar gân,
fal dyna f' amcan innau:
31 A hyn fydd gwell gan Dduw Dëyrn
nag ŷch â chyrn a charnau.
32 A phob truan, pan weler hyn,
a ennyn o lawenydd:
A'ch calon chwi sy'n ceisio Duw,
cyfyd i fyw o newydd.
33 Duw gwrendy dlawd, ni ddirmyg lef
ei gaethwas ef sy fethiant:
34 Nef, a daear, a môr, a hyn
a ymlusg ynddyn', molant.
35 Can's Duw a geidw Seion dêg,
a threfna'n 'chwaneg Juda;
Adeilada ddinesydd hon
i ddynion yn breswylfa.
36 Ië, ei weision ef, a'u hil,
a'u heppil, a'i meddiannant:
A'r rhai a hoffa'i enw fe,
yn honno a breswyliant.

## PSALM LXX.

DUW, prysura i'm gwared i;
Ion, brysia di i'm cymmorth:
2 Gwarth a gw'radwydd a ddêl i'r blaid
a gais i'm henaid ammhorth.
Trwy w'radwydd troer y rhai a ddwg
i mi ddim drwg ewyllys:
3 Mefl fo'u gwobr, a draeth, Ha, ha,
am dana' yn ddirmygus.
4 Y sawl a'th gais, calonnog fydd,
o dra llawenydd ynod:
D'weded' sawl a'th gâr bob amser,
Mawryger ein Duw hynod.
5 Minnau 'n dlawd, ac yn druan sydd;
Duw, brysia, bydd yn agos:
Fy mhorth a'm ceidwad wyt yn wir,
(O Arglwydd) na hir aros.

## PSALM LXXI.

MI a 'mddiriedais ynod, Nef;
na'm gw'radwydder byth bythoedd:
2 Duw, o'th gyfiawnder gwared fi,
a chlyw fy nghri hyd nefoedd.

3 Duw, bydd yn graig o nerth i mi
i gyrchu atti'n wastad :
A phar fy nghadw i yn well ;
ti yw fy nghastell caead.

4 Duw, gwared fi o law'r trahâus,
a'r gwr, trofâus, a'r trawsddyn :
5 Ynot ti, Dduw, bu 'ngoglud maith,
a'm gobaith, er yn grynddyn.
6 O groth fy mam y tynnaist fi,
rhoist ynof egni etto :
I tithau fyth, am hyn o hawl,
y canaf fawl heb beidio.

I lawer dŷn bûm anferth iawn,
ti yw fy nerthlawn Lywydd :
8 Fy safn bydd lawn o'th fawl gan dant,
ac o'th ogoniant beunydd.
9 Nac esgeulusa fi na'm braint
yn amser henaint truan :
Er pallu'r nerth, na wrthod fi ;
Duw, edrych di ar f' oedran.

10 Medd fy nghaseion 'r wyf yn wan,
hwy a ddisgwylian' f' anaf :
Ymgynghorasant yn ddi-syn,
gan dd'wedyd hyn am danaf ;
11 Duw a'i gwrthododd (meddant hwy)
erlidiwch fwyfwy bellach,
A deliwch ef : nid oes trwy'r byd
yr un a'i gweryd hayach.

12 Er hyn o frad (Duw) bydd di well,
na ddos ym mhell oddiwrthy',
Fy Nuw, prysura er fy mhorth,
ac anfon gymmorth ymy.
13 Angau gwarthus pob rhai a gânt,
a wrthwynebant f' einioes :
Gw'radwydd a gwarth iddynt a drig,
a gynnig i mi ddrygloes.

14 Fy ngobaith innau a saif byth
yn ddilyth a safadwy :
Ymddiried ynot (Dduw) a wnaf,
ac a'th foliannaf fwyfwy.
15 Dy iachawdwriaeth s' i'm genau,
yr hwn ni thau funudyn,
A'th gyfiawnder : ac ni wn i
ddim o'r rhifedi arnyn'.

16 Ynghadernid yr Arglwydd Dduw,
tra fwy fi byw, y credaf :
A'th gyfiawnder di hyd y brig,
yn unig hyn a gofiaf.
17 Duw, di a ddysgaist i mi hyn,
do, er yn blentyn bychan :
A hyd yn hyn 'rwyf yn parhâu
i osod d'wŷrthiau allan.

18 O Dduw, na wrthod fi yn hen
a'm pen a'm gên yn llwydo,
Nes i'm ddangos i'r rhai sy'n ol
dy wŷrthiau nerthol etto.
19 Dy gyfiawnder yn uchel aeth,
yr hwn a wnaeth bob mawredd :
Duw, pwy y sydd debyg i ti?
nid ydym ni ond gwagedd.

20 Duw, gwnaethost di im' fyw yn brudd,
a gweled cystudd mynych :
Troist fi i fyw, dychwelaist fi,
trwy 'nghodi o'r feddrod-rych.
21 Mwy fydd fy mawredd nag a fu,
troi i'm diddanu innau :
22 Yna y molaf d' air am hyn,
ar nabl offeryn dannau.

O Sanct Israël, canaf hyn
ar delyn, ac â'm genau :
23 Am i ti wared f' enaid i,
gwnaf iti hyfryd leisiau.
24 Canaf it' hefyd gyfion glod
â'm tafod : wyt i'w haeddu,
Am it' warthâu a gwarthruddiaw
fy nghas sy'n ceisiaw 'nrygu.

PSALM LXXII.

DUW, dod i'r Brenhin farn o'r nef,
dod i'w Fab ef gyfiawnder :
2 Yna y rhydd rhwng pobl iawn frawd,
ac i'r dŷn tlawd uniondeb.
3 Hedd a chyfiawnder, ar ol hyn,
cair ym mhob bryn a mynydd :
4 Y gwan a'r llesg achub a wna,
fe ddryllia y gorthrymmydd.

5 Hwy a'th ofnant byth ar bob tro,
tra treiglo haul a lleuad :
6 Fo ddisgyn fel gwlaw ar wellt glas,
neu gawod fras ar wastad.
7 I'w ddyddiau ef cerir yr iawn,
a'r cyfiawn a flodeua :
Ac aml fydd hedd ar ddaear gron,
tra fo'r lloer hon yn para.

8 Llwydda efe o for hyd for,
o'r ffrwd hyd oror tiredd :
9 Ei gas ymgrymmant, llyfant lwch,
hyd yr anialwch cyrredd.
10 Cedyrn o Tarsus frenhinoedd,
ac o'r ynysoedd canol,
O Seba ac Arabia dêg,
doe pawb â'i aurheg reiol.

11 Yr holl frenhinoedd doent yn llu,
a than ymgrymmu atto :
A'r holl genhedloedd, fel yn gaeth,
a wnant wasanaeth iddo.
12 Can's y dŷn rheidus, a'r gwr gwan,
fo'i gweryd pan weddio :
Bydd i bob dŷn yn nerthol dŵr,
a'r ni bo pleidiwr gantho.

13 Ef a erbyd y tlawd mewn rhaid,
fo achub enaid gwanddyn :
14 Fo a'u gweryd rhag twyll a drwg,
gwerthfawr i'w olwg ydyn'.
15 Felly bydd byw ; rhoir iddo ddâ,
sef aur o Seba ddedwydd :
Hwy a weddïant arno fo,
'gan ei fendithio beunydd.

16 'Rhŷd pen y mynydd ŷd a gân,
fel brig coed Liban' siglant :
A'r plant, cyn amled â'r gwellt glas,
o'r ddinas a flagurant.
17 Os haul cylch wybren byth a dry,
byth pery enw iddaw :
Pawb a'i bendithia ef yn wir,
pawb a fendithir ynddaw.

18 Bendigaid fo yr Arglwydd Dduw,
(sef Duw yr Israel dirion)
Efe'n unig byth sy'n parhâu
i wneuthur gwŷrthiau mawrion.
19 Bendigaid fyddo 'i enw byth,
gogonedd dilyth iddo :
A'i glod llenwir y ddaearen.
Amen, Amen, hyn fyddo.

PSALM LXXIII.

YS da yw Duw i Israël,
wrth bawb a wnel yn union :
2 Minnau llithrais, braidd na syrthiais
swrth-wael fu fy amcanion.
3 Can's cynfigennais wrth y ffol,
a'r dŷn annuwiol dihir :
Braidd na chwympais pan y gwelais
eu hedd a'u golud euwir.

4 Gan nad oedd arnynt rwymau caeth,
i gael marwolaeth ddynol:
Lle maent yn byw yn hwy hyf,
yn iraidd gryf ddigonol.
5 Ac ni ddoe arnynt lafur blin,
hyd y bawn i'n eu deall:
Na dim dialedd, na dim gwŷn,
fel y doe ar ddyn arall.

6 Am hynny fyth maent yn ymddwyn
fel o fewn cadwyn balchder:
A gwisgant am danynt yn dynn
(megis dilledyn) drawsder.
7 A'u llygaid hwynt-hwy wrth dewhâu,
doent yn folglymmau drosodd:
A'u golud hwy, er hyn o wŷn,
uwch meddwl dŷn a dyfodd.

8 Traethu eu trawsder, bod yn dynn,
a bostio hyn ar wasgar:
9 Egori safn at wybren fry,
a thafod cry' trwy 'r ddaear.
10 Am hyn rhai o'i bobl ef â chwant
a ymddychwelant yma,
Yn gweled y dwfr yn loyw lân,
a thybio y cân' eu gwala.

11 Can's ymresymmant hyn yn fyw,
Pa'm? ydyw Duw yn canfod
Pwy sydd yn ddrwg, a phwy sy'n dda?
ydyw 'r Goruchaf'n gwybod?
12 Wele, y drygddyn mwya 'i chwant
caiff fwyaf llwyddiant gwastad;
Yn casglu golud a mawr ddâ,
hwnnw sydd fwya 'i godiad.

13 Ofer iawn fu i mi warhâu,
a llwyr lanhâu fy nghalon:
Golchi fy nwylaw, caru gwir,
a bod yn hir yn gyfion:
14 Cael fy maeddu ar hŷd y dydd;
ond trwstan fydd uniondeb:
Os y bore, ac os pryd nawn,
myfi a gawn wrthwyneb.

15 Hyn os d'wedwn, a feddyliwn,
o ryw feddalaidd aunmau:
Wele, â'th blant di y gwnawn gam,
i ddwyn un llam â minnau.
16 Pan geisiwn ddeall hyn yn llwyr,
o nerth fy synwŷr ddynol:
Hynny i'm golwg i oedd flin,
nes cael rhyw rin ysprydol.

17 Ond pan enthum i gyssegr Dduw,
lle cefais amryw olau:
Yna deallais i pa wedd
y bydd eu diwedd hwythau.
18 Gwybûm i ti eu gosod hwy,
lle caent lam mwy'n y diwedd:
Sef mewn lle llithrig rhwydd-gwymp trwch,
anialwch anghyfannedd.

19 Ond gwedi dodaist iddynt âth,
disymmwth y pallasant:
Myn'd o'r byd heb na lliw na llun,
o'u hofn eu hun darfyddant.
20 Fel breuddwyd pan ddihunai un,
y gwnai di iddyn', f' Arglwydd:
O'r newid hon y caiff fy nghas
trwy yr holl ddinas w'radwydd.

21 Bûm i ddig wrthyf fi fy hun,
ac oerni fu'n fy nghalon:
22 Na's deallaswn hyn yn gynt,
bûm ffol un hynt ag eidion.
23 Er hyn etto bûm gyd â thi,
lle y'm t'wysi'n ddilysiant
24 Wrth fy llaw ddeau: wedi hyn
fy nerbyn i ogoniant.

25 Pa'm? pwy (O Dduw) sydd gennyf fi
ond tydi yn y nefoedd?
Dim ni ddymunwn gyd â thi,
wrth weini daear leoedd.
26 Fy nghalon i, a'm nerth a'm cnawd,
y sydd mewn palldawd beunydd:
Ond tydi, Dduw, sydd ar fy rhan,
a'm tarian yn dragywydd.

27 A elo 'mhell oddiwrthyd ti,
y rheini gwnaent yn ddiffaith:
Ac a butteiniant rhagot ti,
y rheini torrir ymaith.
28 Ond mi ddof nesnes at fy Nuw;
fy ngobaith yw i'm calon:
Y traethaf fi ei nerth, a'i wŷrth,
o fewn dy byrth, merch Seion.

## PSALM LXXIV.

PAHAM (O Dduw) oddiwrthym ni
y cili yn dragywydd?
Paham y digi mor danbaid
wrth ddefaid dy borfëydd?
2 Cofia y bobl a brynaist gynt;
rhoist iddynt etifeddiaeth,
Mynydd Seion, dy breswylfa,
i'r rhai'n yn drigfa helaeth.

3 Ymddyrcha (Arglwydd) taro'n drwm,
pob gelyn gorthrwm difa
Yn dragywydd, a wnaeth na thrais
na dyfais i'th gyssegrfa.
4 Dy elynion daethant i'n mysg,
rhuasant derfysg greulon:
A gosodasant, dan gryfhâu,
fanerau yn arwyddion.

5 I'w cherfio 'r saeri goreu gynt
a roesan' wŷnt i'w bwyll:
6 Drylliant i 'r llawr gerfiadau hon
ag eirf, gyfeillion erchyll.
7 Llosgasant oll dy eglwys lân,
a'i phyrth â thân yn ulw:
A halogasant, mewn dull dig,
y noddfa lle trig d' enw.

8 Awn, gwnawn gyd-artaith, meddant hwy
a dinystr trwy yr holl-wlad:
Llosgasant holl demlau y tir,
gwnaethant yn wir eu bwriad.
9 Nid oes un arwydd in' i'w gael,
na phrophwyd diwael destyn:
Na gwybedydd, a ŵyr pa hŷd
y pery 'r byd i'n herbyn.

10 Dywaid di, pa hŷd (O Dduw Ion)
y gwna d'elynion warthrudd?
A rydd dy gas ei gabledd fri
arnat ti yn dragywydd?
11 Paham y tynni'n ol dy law,
(sef dy ddeheulaw berffaith,
Hon sydd i'th fynwes) allan tyn,
a difa d' elyn diffaith.

12 Can's o'r dechreuad, Duw ei hun
ydyw fy Nghun a'm Brenhin:
Fe a wna iachawdwriaeth hir
i bawb trwy 'r tir a'i dilyn.
13 Parthu a wnaethost di, â'th nerth,
y môr, a'i anferth donnau:
Gwahenaist, torraist, uwch y don,
bennau y blinion ddreigiau.

14 Drylliaist di ben (nid gorchwyl gwan)
y Lefiathan anferth:
I'th bobl yn fwyd dodaist ef,
wrth dreiglo yn y ddiserth.
15 Holltaist y graig, tarddodd ffynnon,
ac aeth yn afon ffrwd-chwŷrn:

A d'iysbyddaist yn dra sych
afonydd dyfr-grych cedyrn.

16 Ti bïau 'r dydd, ti bïau 'r nos,
goleu a haul-dlos geinwedd:
17 Seiliaist y ddaear, lluniaist haf,
a gauaf, o'th ogonedd.
18 Fy Arglwydd, bellach cofia hyn,
i'r gelyn gynt dy gablu:
Ac i'r ynfydion roi drwg fri,
a'th enw di dirmygu.

19 Oes dy durtur na ddod ar gawdd
dan nawdd anifail creulon:
Na ad o'th gof (O Arglwydd da)
dy dyrfa, y rhai tlodion.
20 Duw, edrych ar dy gyfammod,
a gwêl waelod y gwledydd:
Mae ym mhob man drigfa dŷn traws,
mae honynt liaws efrydd.

21 Na ddychweled y truan tlawd
mewn difrawd, ac mewn gw'radwydd:
Y dŷn anghenus, llesg, a gwan,
a ddatcan dy enw, Arglwydd.
22 Cyfod, dadleu dy ddadl (O Dduw)
dy enw yw'n dragywydd:
Coffa gabledd, yr hon trwy 'r byd
a gait gan ynfyd beunydd.

23 Duw, nac anghofia lais a sŵn
d'elynion y cenhedloedd:
Eu swn, a'u rhodres, a'u dadwrdd,
a ddring i g'wrdd â'r nefoedd.

## PSALM LXXV.

CLODFORWN di (drag'wyddol Dduw)
a'th enw yw yn agos:
Maint yw dy enw a'th nerth i'th hynt,
dy wŷrthiau ynt i'w ddangos.
2 D'wedaist, Pan dderbyniwyf y llu,
mi rof farn gu ac union:
3 Fel y nerthais sylfeini 'r byd,
oedd rŷdd, a'i gyd-drigolion.

4 Minnau a dd'wedais hyn o'm bryd
wrth y rhai ynfyd, Peidiwch:
Wrth annuwiolion poethion chwŷrn,
Eich mebcyrn na ddyrchefwch.
5 Och, na ddyrchefwch chwi mo'ch cyrn,
na siglwch rychwyrn ragdal:
Ac na dd'wedwch chwi yn war-syth,
Nid rhaid in' fyth mo'r gofal.

6 O herwydd nid o'r dwyrain draw
i ddyn y daw dyrchafiad:
Nid o'r gorllewin, na'r deau,
y daw i chwithau godiad.
7 Can's ar law Duw y mae y farn;
na fid gŵr cadarn rygry':
Gostwng heddyw y naill heb ball,
a chodi 'r llall y fory.

8 Can's yn llaw 'r Arglwydd phïol sydd,
cymmysg-win hyd wŷdd ynddi:
Tywalltodd hwn; drwg ddynion byd
yfant i gŷd o honi.
9 Mynegaf finnau, ac i'm cof,
ei gerdd (Duw Iagof) canaf:
10 Torraf gyrn yr annuwioliawn,
a phen y cyfiawn codaf.

## PSALM LXXVI.

YN Juda ac Israël dir
adweinir ein Duw cyfion:
2 Ei babell ef yn Salem sydd,
a'i breswyl fydd yn Seion.
3 Yno drylliodd y bwa a'r saeth,
a'r frwydr a wnaeth yn ddarnau:
A thorrodd ef yn chwilfriw mân
bob tarian, a phob cleddau.

4 Trawsion fu cedyrn mynydd gynt,
mewn yspail helynt uchel:
Uwch a chryfach wyt na hwynt-hwy,
nid rhaid byth mwy mo'u gochel.
5 Pob cadarn galon a ymroes,
ac ni ddeffroes o'i gyntyn:
Pawb a ddiffrwythodd pan ddaeth braw
ni chai un llaw ei dderbyn.

6 O'th waith (Duw Iagof) a'th ammharch,
cerbyd a'r march rho'i huno:
7 Ofnadwy wyt, pwy i'th lid wg
a saif i'th olwg effro?
8 Pan ddaeth o'r nefoedd dy farn di,
yr wyt yn peri 'i chym'ryd:
Y ddaear ofnodd, a'i holl lu
rhoist i ostegu ennyd.

9 I farnu pan gyfododd Duw,
i gadw yn fyw y gwirion,
A'r rhai oedd lonydd yn y tir,
yr oeddyn' gywir galon.
10 Can's poethder dŷn yw dy fawl di;
felly gostegi drallod:
Eu gwres, i'r da a fag gref ffydd;
i'r drwg, a fydd yn ddyrnod.

11 Eich rhodd i'r Arglwydd Dduw addêwch,
a llawn gwblhêwch eich gobrwy:
Pawb sydd o amgylch Seion dêg,
rhowch anrheg i'r Ofnadwy.
12 Ef a ostyngodd uchel fryd,
ac yspryd, gwŷr rhyfelgar:
Fo a yrr ofn ynghanol hedd,
ar holl frenhinedd daear.

## PSALM LXXVII.

FY llais at Dduw, pan roddais lef,
fy llais o'r nef fo'i clybu:
A'm llais gweddiais ar Dduw Nêr,
pan oedd blinder yn tarddu.
2 Y dydd y rhedai 'mriw, a'r nos
ni pheidiai achos llafur:
Mewn blin gyfyngder gwn fy mod,
a'm hoes yn gwrthod cysur.

3 Yna y cofiwn Dduw a'i glod,
pan syrthiai drallod enbyd:
Yna gweddïwn dros fy mai,
pan derfysgai fy yspryd.
4 Tra fawn yn effro, ac mewn san,
heb allel allan dd'wedyd:
5 Ystyriais yna'r dyddiau gynt,
ar helynt hen o'r cynfyd.

6 Cofiwn fy ngherdd y nos fy hun,
heb gael amrant-hun, chwiliwn:
A chalon effro, genau mud,
â'm hyspryd ymddiddannwn.
7 Ai'n dragywydd y cilia 'r Ion?
a fydd ef boddlon mwyach?
8 A ddarfu byth ei nawdd a'i air?
a gair ei addaw bellach?

9 A anghofiodd Duw drugarhâu?
a ddarfu cau ei galon?
A baid efe byth (meddwn i)
fal hyn â sorri'n ddigllon?
10 Marwolaeth im' yw 'r meddwl hwn;
a throis yn grwn i gofio
Ei fawr nerth gynt: cofio a wnaf
waith y Goruchaf etto.

11 Cofiaf dy weithredoedd (f' Arglwydd)
a'th wŷrthiau hylwydd cofiaf:
12 Am bob rhyfeddod, a phob gwaith,
â myfyr maith y traethaf.

13 O Dduw, pa dduw sydd fal ti, Dduw?
dy ffordd di yw'n sancteiddiol:
14 Dy waith dengys dy nerth i'r byd;
pair in' i gyd dy ganmol.

15 Dy nerth fawr hon a roist ar led,
wrth wared yr hen bobloedd,
Iago a Joseph, a fu gaeth,
a'u holl hiliogaeth luoedd.
16 Y deifr gwelsant, ofnasant hyn,
a dychryn cyn eu symmud:
17 Cymmylau dwfr cylch wybr yn gwau,
a mellt fal saethau enbyd.

18 Dy daran rhuodd fry'n y nen,
dy fellt gwnaent wybren olau:
Y ddaear isod a gyffrôdd,
ac a ddychrynodd hithau.
19 Yn eigion môr mae y ffordd dáu,
a'th lwybrau mewn deifr sugnedd:
Ac ni adweinir byth mo'th ôl
yn dy anfeidrol Fawredd.

20 Dy bobloedd a dywysaist di
trwy anial dd'rysni efrydd,
Gan law Moses, a'i frawd Aron,
fel defaid gwirion llonydd.

## PSALM LXXVIII.

FY mhobl i gyd, gwrandêwch fy nedd£
a boed fy ngreddf i'ch calon:
Clust-ymostyngwch â'm genau,
i ystyr geiriau ffyddlon.
2 Mewn diarhebion, i barháu,
fy ngenau a egoraf:
A hen ddamhegion, oedd ar hŷd
y cynfyd, a ddangosaf;

3 Y rhai a glywsom gynt eu bod,
ac ŷm yn gwybod hefyd,
Ac a fynegodd yn ddiau
ein tadau er y cynfyd.
4 Heb gel mynegwn ninnau'n ffraeth
hyn i'w hiliogaeth hwythau:
Canmolwn Dduw i'r oes a ddêl,
ei nerth, a'i uchel wŷrthiau.

5 Felly gorch'mynodd ef fod cof
yn Iagof: ac i'r hynaf
Yn Israël ddysgu i'w blant
ogoniant y Goruchaf.
6 Fel y gwypid, o oes i oes,
y rhoes ef ei dystiolaeth,
O dad i fab, o fab i ŵyr,
i gadw llwyr wybodaeth.

7 Gobeithio'n Nuw, cofio ei waith,
y sydd mal rhaith eneidiol:
I gael cadw ei orchymyn,
rhoes Duw 'r weis hyn yn rheidiol.
8 Rhag ofn myn'd o'r genhedlaeth hyn
yn gyndyn ac anufudd:
A chalon wan, ac yspryd gwael,
heb afael gyd â'u Llywydd.

9 Eu tadau, fel plant Ephraïm,
yn arfog lym er saethu,
Troisant eu cefnau yn y gâd,
ymroi a dad-annelu.
10 Cyfammod Duw a wrthodent;
ni rodient yn ei gyfraith:
11 Anghofio 'i wŷrth a welsent gynt,
a'i ddeddfau oeddynt beiffaith.

12 Yn nhir yr Aipht, ym maes Soan,
gwnaeth Duw gyflafan fwyfwy:
13 Rhoi dwfr y môr yn ddau dwr crych,
a'r llawr yn sych i dramwy.
14 Y dydd mewn niwl, y nos â thân,
tywysai'n lân ei bobloedd:

15 Hollti'r creigiau, a'u troi'n llynniau,
a llenwi ei lu â dyfroedd.

16 Er tynnu dwfr o'r garreg las,
er llithro'n loyw fras ffrydau:
17 Yn yr anialwch digient Dduw,
chwanegent amryw feiau.
18 Yn y diffaethwch profent Dduw;
Oes fwyd i fyw? meddylient:
19 A all Duw gael in' yma fwyd
mewn cyfryw lochwyd? d'wedent.

20 Er taro'r graig, a rhedeg dw'r
yn ffrydau, cyflwr dibell:
A eill ef roi in' fara a chig,
i'n cadw yn ddiddig ddiwall?
21 Pan glybu Duw yr araith hon,
fel tân yn wreichion 'nynodd:
Yn Iago ac yn Israël,
gan lid, yn uchel digiodd.

22 A'i ddig oedd, am na chredent hwy
i Dduw, a'i fwyfwy Fawredd:
Ac na welent pa iechyd oedd
yn ei weithredoedd rhyfedd.
23 Gorchymyn wybren, a'i gwarhâu;
egoryd drysau 'r nefoedd:
24 A manna'n fwyd, fel gwenith nef,
a wlawiodd ef i'w luoedd.

25 Rhoi i ddyn gael rhyw luniaeth da,
sef bara yr angylion:
26 Gyrru'r hŷd wybren ddwyrein-wŷnt,
gyd â'r deheu-wŷnt nerthlon.
27 Fel y llwch y rhoes gig i'w hêl,
ac adar fel y tywod:
28 Ynghylch eu gwersyll a'u trigf'ydd
y gwlawiai beunydd gawod.

29 Bwytta digon o wledd ddiwael,
a chael eu bwyd dymunol:
30 Ac heb omnedd dim ar eu blŷs,
nac mo'u hewyllys cnawdol.
31 A'u tammeidiau hwy i'w safnau
(ys ofnwn y Goruchaf:)
Yn Israël lladdodd i'w ddig
wŷr etholedig brasaf.

32 Er hyn pechent, ac ni chredent
hwy i'w iach radau rhyfedd:
33 Treuliodd Duw eu hoes hwy, am hyn,
mewn dychryn ac oferedd.
34 Tra fyddai Duw yn eu lladd hwy,
os ceisient dramwy atto:
Os doent trwy hiraeth at ei ras,
yn fore glas i'w geisio.

35 Os cofient fod Duw i'w holl hynt
Graig iddynt a Gwaredydd:
36 (Er ceisio siommi Duw 'n y daith
â'u gweniaith, ac â'u celwydd;
37 Er nad oedd eu calon yn iawn,
na ffyddlawn i'w gyfammod:)
38 Er hyn trugarhâi Duw o'r nêf,
a'i nodded ef oedd barod.

Rhag eu difa, o'i lid y troes,
ac ni chyffroes i'w hartaith:
39 Cofiodd ddyn, os marw a wnai,
na's gallai ddychwel eilwaith.
40 Pa sawl gwaith y cyffroisant hwy
wrth fyned trwy 'r anialwch,
Gan ddigio Duw, a'i lwyr dristâu,
ynghreigiau y diffaethwch?

41 Troisant, profasant Dduw â'u chwant,
gan demtio Sant yr Israel:
42 Anghofio eu cadw hwynt fal hyn,
rhag cael o'u casddyn afael.
43 Rhoisai'n yr Aipht arwydd o'i ras,
a'i wŷrth yn ninas Soan:

44 Y modd y troes eu dwfr yn waed,
ni chaed dim glân-ddwfr allan.

45 Rhoes Duw yngwlâd yr Aipht, i'w plau,
waed, gwybed, llau, a llyffaint:
46 Lindys, locust, i ddifa'u ffrwyth,
a chenllysg lwyth, a mall-haint.
47 Distrywiodd Duw eu hŷd, gwellt, gwŷdd
48 Eu coedydd, a'u hanifeiliaid:
A chenllysg, cessair, mellt a roes,
bu wrth eu heinioes danbaid.

49 Rhoes arnynt bwys ei lid, a'i fâr,
ac ing angh'rengar digllon:
Ffrwyth ei lidiowgrwydd ef, a'i wg,
anfonodd ddrwg angylion.
50 Rhyw ffordd a hon i'w lid a droes,
heb ludd, i'w heinioes angau:
Ond dwyn eu bywyd hwy trwy haint,
yn ei ddigofaint yntau.

51 Yna tarawodd un Duw Naf
y plant cyntaf-anedig,
Yn nhir yr Aipht, a phebyll Cam,
sef am ei fod yn llawnddig.
52 Ond (gan droi at ei bobl yn hawdd)
fo'u tywysawdd trwy'r anial-fan,
Fel arwain defaid lwybrau pell
yn wael ddïadell fechan.

53 Arweiniodd hwynt-hwy yn ddïofn
trwy'r môr (ffordd ddofn) heb wlychu:
A'i holl elynion, heb fwy 'stor,
fe wnaeth i'r môr eu llyngcu.
54 Rhoes hwy i etifeddu'n rhŷdd
ym mynydd ei sancteiddrwydd,
Yr hwn a ddarfu ei warhâu
â llaw ddehau yr Arglwydd.

55 Rhoes ef y wlad i ddwyn pob ffrwyth,
rhoes i bob llwyth ei gyfran
O Israël, ac yn eu plaid
rhoi'r hen drigoliaid allan.
56 Er hyn, temtient a digient Dduw,
hwn unig yw sancteiddiol:
Ac ni fynnent mo'r ufuddhâu
i'w dystiolaethau nefol.

57 Ond myn'd ar gil, ac ymlaccâu,
fel eu holl dadau twyll-naws:
Megis bwa a fai mewn cad,
ac ynddo dafliad gŵyrdraws.
58 Hwynt-hwy yn fynych a'i cyffroent,
mewn camwedd troent oddiwrtho,
At wylfa nos, a delw o bren;
fal hyn y digien' efo.

59 Ond y Gorucha'n gweled hyn,
a ddigiodd wrthyn' hwythau:
Felly dirmygodd Israël,
a gad'el ei ammodau.
60 Yna'r ymadawodd efô
â chyssegr Silo dirion:
Ei babell a'r brif ysgol ddysg,
lle b'asai 'mysg ei ddynion.

61 Eu nerth a roes i garchar caeth;
dan elyn daeth eu mawredd:
62 Ei bobl ei hun i'r cleddau llym,
(fal dyna rym ei 'ddigedd.)
63 Ei wŷr ieuaingc fo'u rhoes i'r tân,
gwŷryfon glân rhoes heibio:
64 Ei offeiriaid i'r cleddyf glas,
a'i weddw ni chafas wylo.

65 Yr Arglwydd gwedi hyn deffroe,
fal un a ddoe o gysgu:
Neu fel gŵr cadarn wedi gwin,
yn erwin i'w dychrynu.
66 Taflodd y gelyn yn ei ol,
rhoes mewn trag'wyddol w'radwydd:

67 Rhoes wyrion Joseph dan un pwyth,
ac Ephraim lwyth i drangwydd.
68 Gwedi cwlio y rhai'n i gŷd,
fo roes ei fryd ar Juda:
Ar fynydd Seion (ei dreftâd)
o gariad i'w breswylfa.
69 Yna yr adeiladodd ef
adeilad gref a hawddgar,
Yn gyssegr-lys byth i barhâu,
fel hen seiliadau'r ddaear.

70 Etholodd ef Ddafydd ei was,
yr hwn oedd ddifas fugail:
Ac a'i dug ef i'r maes yn lân
o'i gorlan a'i ddefeid-gail;
71 O borthi defaid mammau ŵyn,
i'w ddwyn i borthi dynion:
Iago, ac Israël, a'u plant;
dyna ei feddiant ffyddlon.

72 Yntau a'u porthodd hwynt, yn ol
ei berffaith reiol galon:
Ac a'u trinodd hwy yn brydferth,
o nerth ei ddwylaw cyfion.

## PSALM LXXIX.

LLAWER cenedl (O Dduw) a ddaeth
i'th etifeddiaeth unig:
Rhoed Caersalem a'i chyssegr hi
yn garneddi o gerrig.
2 Rhoi cyrph dy weision, wrth eu rhaid,
i 'hediaid y ffurfafen:
I'n'feiliaid maes rhoi cig dy saint;
fel dyma fraint aflawen.

3 Fel ffrydiau dwfr tywallt a wnaed
eu gwaed o amgylch dinas
Caersalem, heb roi corph mewn bedd;
fel dyna ddiwedd atgas.
4 Yn ddirmyg, gw'radwydd, ac yn warth,
i bawb o'n pob parth, ydym:
5 O Dduw, pa hŷd? wyt byth yn ddig?
ai fel tân ffyrnig poethlym?

6 Tywallt dy lid ar bobl estron,
rhai nid adwaenon' m'onot:
Ac ar d'yrnasoedd ni eilw
(Duw) ar dy enw hynod.
7 Can's wyrion Iago (bobl oedd gu)
y maent i'w hysu'n rhyfedd:
Ac a wnaethant i'r rhei 'ni fod
preswylfod anghyfannedd.

8 Na chofia'n camwedd gynt i'n hoes;
Duw, brysia, moes drugaredd:
Dy nodded a'n rhagflaeno ni,
sy mewn trueni'n gorwedd.
9 O Dduw ein hiechyd, cymmorth ni,
er mwyn dy fri gogonol:
A gwared, er mwyn dy enw tau,
ni rhag pechodau marwol.

10 Pan y gofynant, P'le mae'n Duw?
dod arnynt amryw ffonnod:
I ddïal gwaed dy ddwyfol blant;
ac yno cânt hwy wybod.
11 Duw, doed ochenaid ger dy fron
dy garcharorion rhygaeth:
Ac, yn dy ddirfawr ogoniant,
ymddiffyn blant marwolaeth.

12 Ein cym'dogion a'th gablodd di;
tâl i'r rhei'ni yn gwblol
Eu cabledd i'w mynwesau 'i hun,
O Arglwydd Gun gorchestol.
13 Ninnau, dy bobl a'th ddefaid mân,
a wnawn it' gân ogonawl,
O oes i oes byth i barhâu,
ac i'th fawrhâu'n drag'wyddawl.

## PSALM LXXX.

CLYW di, Fugail i Israël,
sy'n arwain fel y defaid
Hil Iago, a llewyrcha di,
a 'steddi ar gerubiaid.
2 Fel y gwelo Ephraïm hyn,
Benjamin a Manasses:
Cyfod, cymmorth a gwared ni,
o'th fawr ddaioni cynnes.

3 Llewyrcha d'wyneb, dychwel ni,
Duw, di a'n cedwi'n gyflym:
4 Duw y lluoedd, clyw ein gweddi;
pa hŷd y sorri wrthym?
5 Llewa 'u bara, trwy wylo 'n dost,
a wnaethost di i 'r eiddod:
A rhoi iddynt ddagrau bob awr,
trwy fesur mawr, yn ddïod.

6 Duw, i'n gelynion o bob parth
rhoist ni yn warth i'n gwatwar:
7 Llewyrcha d'wyneb, dychwel ni;
felly y'n cedwi'n gynnar.
8 Dygaist o'r Aipht winwŷdden îr,
rhoist iddi dir i dyfu:
A'r holl genhedloedd o bob man
troist allan cyn ei phlannu.

9 Arloesaist y tir o'i blaen hi,
a pheraist iddi wreiddio:
10 Llanwodd, cuddiodd bob bryn a llawr,
fel cedrwŷdd mawr yn brigo.
11 A'i hiraidd frig estyn yr oedd
hyd foroedd ac afonydd:
12 Pa'm y rhwygaist gae 'r fath bêr lwyn,
i bawb i ddwyn ei ffrwythydd?

Pawb ai heibio 'n tynnu ei grawn,
pan oedd hi'n llawn ffrwyth arni:
13 A'r baedd o'r coed yn turio 'r llawr,
a'r bwystfil mawr i'w phori.
14 O Dduw y lluoedd, edrych, gwel,
a dychwel, i ymg'leddu
Y winllan hon, a blennaist di
â'th law, a'i rhoddi 'dyfu.

15 Lle sadarnhe'ist i ti dy hun
dy brif blanhigyn dedwydd:
16 Llygrwyd â'r cledd, a'r tân yn faith,
a hyn o waith dy gerydd:
17 I gryfhâu gŵr dy ddehau-law,
boed drostaw dy fraich nerthol:
Hwn a sicrhe'ist i ti dy hun,
sef dros fab dŷn dewisol.

18 Tros hwn tra' rhoddych di dy law,
oddiwrthaw ni ddychwelwn:
O Dduw, dadebra, bywhâ ni;
ar d'enw di y galwn.
19 A dadymchwel nyni i fyw,
O Arglwydd Dduw y lluoedd:
Tywynna arnom d' wyneb pryd,
ni a gawn iechyd bythoedd.

## PSALM LXXXI.

O Cenwch fawl i Dduw ein nerth,
cerdd brydferth cenwch iddo;
A llafar lais, a genau ffraeth,
gerddwriaeth i Dduw Iago.
2 Cymmerwch gathl y psallwyr lân,
a moeswch dympan hefyd:
A cheisiwch ganu, gyd â hyn,
y nabl a'r delyn hyfryd.

3 Cenwch udcyrn ar loer newydd,
y prŷd sydd nodol iddo:
4 Sef deddf yw hon ar ŵyl uchel
Duw Israël a Iago.

5 Yn Joseph c'lymmodd hyn yn ddysg,
pan ddaeth o fysg yr Aiphtwŷr:
Lle clywais iaith oedd ddïeithr im',
heb ddeall dim o'i hystyr.

6 D'wedodd fy Nuw, Trwy nerth fy mraich
tynnais faich eich ysgwyddau:
Ac felly tynnais eich dwy law,
i 'madaw â'r ffwrneisiau.
7 I'th flinder gelwaist arnaf fi,
gwaredais di sut yma:
Wrth lais taran fy mhrofiad oedd,
ynglàn dyfroedd Meriba.

8 Fy mhobl Israël, gwrando fi,
os ystyri yn ffyddlon:
9 Na fid ynot arall yn Dduw,
na chrymma i gaudduw estron.
10 Myfi, yr Arglwydd Dduw, a'th ddug
o'r Aipht-dir caddug allan:
Llanwaf dy fol heb ddiffyg dafn,
lleda dy safn yn llydan.

11 Ni choeliai Israel fy rhybudd,
ni fyddent ufudd ymy:
12 Gollyngais hwynt i'w ffyrdd eu hun,
i'w cynghor cyndyn hynny.
13 Och na wrandawsai Israël,
gan rodio 'n ffell fy llwybrau:
14 A phwys fy llaw llethaswn fron
eu holl elynion hwythau.

15 Caseion ein Duw, yn ei lid,
a ostyngesid iddaw:
Ac ef a roisai yn y tir
ammodau hir i 'r eiddaw.
16 Ein Duw a roisai iddynt borth,
trwy frasder cymmorth rhadol:
Rhoi mel o'r graig, rhoi llaeth yn flith,
a gwenith yn ddigonol.

## PSALM LXXXII.

HOLL farnwŷr byd mae Duw'n eu mysg,
pe cym'rent addysg gantho:
Duw yw ym mysg y duwiau mân,
a'i farn sy lân heb ŵyro.
2 Pa hŷd y rhoddwch farn ar dro,
gan bleidio gyd â'r trawsion?
3 I 'r tlawd, ymddifad, rheidus trwch,
paham na fernwch union?

4 Gwrandêwch chwi ar y gwan a'r gwael,
a'r tlawd heb gael mo'i gyfraid,
(Pan ddêl y rheini gar eich bron)
o ddwylaw 'r trawsion diriaid.
5 Gwŷr heb wybod, heb ddeall chwaith,
sy'n rhodio taith tywyllni:
Ni syflent hwy, pe siglai 'nghyd
yr hollfyd a'i sylfeini.

6 D'wedais mai duwiau ŷch yn siwr,
a phlant i 'r Gŵr goruchaf:
7 Er hyn mal dŷn marw a wnewch,
un gwymp a gewch â'ch hynaf.
8 Duw, cyfod, a dyro farn ar
y ddaear a'i th'yrnasoedd:
Can's mawr yw d'etifeddiaeth, ti
a feddi 'r holl genhedloedd.

## PSALM LXXXIII.

NA ostega, na thaw, na fydd
di lonydd, Duw y lluoedd:
2 Wele, d'elynion yn cryfhâu,
gan godi 'pennau i 'r nefoedd.
3 Ymgyfrinachu dichell yn',
y lle mae ganthyn' fwriad:
A dychymygu diben brudd
i ni, sy'n ymgudd danad.

4 D'wedasant, Dewch, difethwn hwynt,
na byddo honynt genedl:
Ac na byddo byth (meddant hwy)
am Israel mwy mo 'r chwedl.
5 Ymgynghorasant bawb ynghŷd,
ac yn un fryd i'th erbyn:
6 Edom, Ismaël, Moab blaid,
a'r holl Hagariaid cyndyn.

7 Gebal, Ammon, Amaleciaid,
Philistiaid, a gwŷr Tyrus:
8 Assur, yn gyd-fraich â phlant Lot;
fal dyna gnot maleisus.
9 Tâl dithau adref yn y man,
megis i Madian greulon:
I Sisera, ne'i Jabin swrth,
a laddwyd wrth lan Cison.

10 Yn Endor gynt bu laddfa fawr,
ar hŷd y llawr ar wasgar:
Gwna honynt hwythau laddfa ail,
a'u cyrph yn dail i'r ddaear.
11 Gosod eu bonedd hwy fel Zeb,
ac Oreb yr un diwedd:
A'u tywysogion fel Zeba,
a Salmunna, i orwedd.

12 D'wedent y mynnent yn eu byw
gyssegrfa Duw i'w meddiant:
13 Fel troad rhod, neu wellt mewn gwŷnt,
dyna yr hynt a gaffant.
14 Fal y llysg y tân bob pren crin,
a'r fflam yr eithin mynydd:
15 Felly â'th 'storm ymlid hwy'n gynt
nâ dychryn corwŷnt efrydd.

16 Llanw eu tâl o warth a chwŷs;
ceisiant ar frys yr Arglwydd:
17 Ac yn dragwyddol iddynt bydd
gywilydd, mefl, a gw'radwydd.
18 Difether hwynt; gwyped dŷn byw
mai d' enw di yw Jehofa:
Ac mai ti unig Dduw sydd ar
y ddaear yn Orucha'.

## PSALM LXXXIV.

DY babell di mor hyfryd yw
(O Arglwydd byw y lluoedd)
2 Mynych chwennychais weled hon,
rhag mor dra-thirion ydoedd.
Mae f' enaid i (fy Ion) mewn blys
i'th gyssegr lys dueddu:
Fy nghalon i, a'm holl gnawd, yw
yn Nuw byw'n gorfoleddu.

3 Aderyn y to cafodd dŷ,
a'r wennol fry i'w chywion
Le wrth dy allor di i'w trin,
fy Nuw a'm Brenhin tirion.
4 Gwyn ei fyd a drig yn dy dŷ,
caiff dy foliannu ddigon:
5 Ac ynot ti sy'n cadarnhâu,
a'th lwybrau yn eu calon.

6 Pe rhon a gorfod ar y rhai'n
'rhŷd glyn wylofain dramwy:
Gosodant ffynnon iddyn' nhw,
a'r gwlaw a leinw fwyfwy.
7 Ant rhagddynt bawb, o nerth i nerth,
nes cael yn brydferth ddyfod
I 'mddangos i Dduw, gar ei fron,
yn Seion ei breswylfod.

8 Arglwydd Dduw y lluoedd, clyw fi,
a'm gweddi, O Dduw Jagof:
9 Gwel wyneb d'Enneiniog, a'i stad;
Duw'n tarian, n'ad fi'n anghof.
10 Gwell yw nâ mil, un dydd i'th dŷ;
am hynny mwy dewisol
Im' fod ar riniog y drws tau,
nâ phlasau yr annuwiol.

11 Sef, haul a tharian yw Duw mad,
a rydd rad a gogoniant:
Ni lestair ef ddaioni maith,
i'r rhai a berffaith rodiant.
12 O Arglwydd Ddaw y lluoedd mawr,
anfon i lawr dy gymmod:
Dedwydd yw 'r dŷn a rotho'i gred,
a'i holl ymddiried, ynod.

## PSALM LXXXV.

DA wyt i'th dir (Jehofa Ner)
dychwelaist gaethder Iago:
2 Maddeuaist drawsedd dy bobl di;
mae'u camwedd wedi 'guddio.
3 Tynnaist dy lid oddiarnom ni;
troist dy ddiglloni awchlym:
4 O Dduw ein nerth, tro ninnau'n well,
a'th lid bid bell oddiwrthym.

5 Ai byth y digi wrthym ni?
a sorri di hyd ddiwedd?
A saif dy lid o oes i oes?
Duw, gwrando, moes drugaredd.
6 Pa'm? oni throi di a'n bywhâu,
a llawenhâu yr eiddod?
7 O dangos in' dy nawdd mewn pryd;
felly cawn iechyd ynod.

8 Beth a ddywaid Duw am danaf,
mi a wrandawaf hynny:
Fe draetha hedd i'w bobl, a'i saint,
rhag troi ym mraint ynfydu.
9 I'r rhai a ofnant Arglwydd nef,
mae 'i iechyd ef yn agos:
Felly y caiff gogoniant hir
o fewn ein tir ni aros.

10 Ei drugaredd, a'i wirionedd,
ar unwaith cyfarfuant:
Ei uniondeb, a'i hedd ynghŷd,
trwy 'r tir a 'mgyd-gusanant.
11 Gwirionedd o'r ddaear a dardd,
uniondeb chwardd o'r nefoedd:
12 Duw a ddenfyn in' ddaioni,
a'n tir i roddi cnydoedd.

13 Uniondeb oedd o flaen Duw nef,
a'r cyfion ef aed rhagddo:
A Duw a rodia yn ei waith,
fel i'r un daith ag efo.

## PSALM LXXXVI.

GOSTWNG, O Arglwydd, y glust dau,
clyw fy ngweddïau trymion:
Gwrando fi, sy druan a thlawd,
o'th barawd drugareddion.
2 Cadw fy oes, gŵr cynnwys wy',
ac iti 'r ydwy'n credu:
Duw, bydd Achubwr da i'th was,
o'th ras tyr'd i'm gwaredu.

3 Trugarhâ wrthyf, Arglwydd mad;
can's arnad llefa'n ddibaid:
4 Einioes dy was, Duw, llawenhâ;
can's attad coda' f' enaid.
5 Can's ti, O Arglwydd, ydwyt dda
i'th bobloedd, a thrugarog:
I'r rhai a alwant arnat ti,
mae dy ddaioni 'n bleidiog.

6 O Arglwydd, clyw fy llais mor llym,
a'm gweddi y'm myfyrdod:
7 Clywi fy llais, gweli fy nghlwyf,
y dydd y bwyf i'm trallod:

8 Ym mysg y duwiau nid oes un
  fel dydi, Gun gogoned :
Ym mysg gweithredoedd cymmain un,
  nid oes yr un un weithred.

9 Y bobloedd oll a wnaethost (Ion)
  o'th flaen don' ac addolant :
A pha le bynnag a'r y bont,
  i'th enw rhont ogoniant.
10 Can's tydi ydwyt fawr a phur,
  yn gwneuthur rhyfeddodau :
A thydi 'n unig wyt yn Dduw ;
  ni cheisiwn amryw dduwiau.

11 Dysg i mi dy ffordd (O Arglwydd)
  caf yn rhwydd dy wirionedd :
Gwna fy nghalon yn un â thi,
  ac ofnaf fi dy Fawredd.
12 Fy Arglwydd Dduw, moliannaf di
  â holl egni fy nghalon :
Ac i'th fawr enw byth, gan dant,
  y rhof ogoniant cysson.

13 Can's mawr yw dy drugaredd di,
  tu ag attaf fi yn barod :
Gwaredaist f' enaid i o'r bedd,
  ac o'r gorddyfnedd isod.
14 Duw, daethant arnaf fi wŷr beilch,
  fel llu o weilch ewin-ddrud :
Ceisient ddwyn f' einioes o'r byd hwn,
  i'w golwg gwn nad oeddyd.

15 Ond tydi'n unig wyd hawddgar,
  a chlaiar dy drugaredd :
Hwyr i'th lid, ac i gymmod hawdd,
  llawn o nawdd a gwirionedd.
16 O edrych arnaf, moes dy ras
  i'th was, y sydd i'th orllwyn :
Dod im' dy nerth, cadw fal hyn
  fi, plentyn dy law-forwyn.

17 O Dduw, dod, o'th serch, im' arwydd,
  er gw'radwydd i'm caseion :
Pan welant dy fod yn rhoi nerth
  im', ac ymadferth ddigon.

## PSALM LXXXVII.

SEILFEINI hon (sef Seion) sydd
  ar gyssegr fynydd ucho' :
2 Ac ar dy byrth rhoes Duw ei serch,
  uwch pob trig-lannerch Iago.
3 O ddinas Duw, preswylfa'r Ion,
  mawr ydyw 'r son am danad :
A gogoneddus air it' sydd
  uwch trigfennydd yr holl-wlad.

4 Rahab, Babel, a Phalestin,
  a Thyrus flin, a'r Mwriaid,
A fu i'th blant elynion gynt :
  mae rhai o honynt unblaid.
5 Ond d'wedir hyn am Seion bêr,
  Fo anwyd llawer ynddi,
Nid ymbell un : can's swccwr da
  yw Duw goruchaf iddi.

6 Fe rydd yr Arglwydd yn ei rif
  y neb fo cyfrif' hono :
Efe a esyd hyn ar led,
  sef, llwn a aned yno.
7 Cantor tafod, a cherddor tant,
  pob rhai it' canant fawrglod :
A thrwy lawenydd mae'n parhâu
  fy holl ffynhonnau ynod.

## PSALM LXXXVIII.

O Dduw fy iechyd, nos a dydd
  mae 'ngweddi 'n ufudd arnad :
2 Gostwng dy glust, O Arglwydd nef,
  a doed fy llef hyd attad.
3 Can's mae fy enaid mewn dull caeth,
  a'm heinioes aeth i'r beddrod :
4 Fel gŵr marw y rhifwyd fi,
  a'm nerth oedd wedi darfod.

5 Mor farw a rhai wedi eu lladd,
  a'u taflu 'nghladd mewn anghof,
A laddit di mor siw: a hyn,
  na bai byth honyn' atgof.
6 Gosodaist fi mewn dyfnder trwch,
  ac mewn tywyllwch eithaf:
7 Rhoist bwys dy ddig ar y corph mau,
  a'th holl for-donnau arnaf.

8 Pellhê'ist fy holl gydnabod da ;
  'rwyf yn ffieidd-dra iddyn' :
Ni chaf fi fyned at un câr,
  yr wyf mewn carchar rhy-dyn.
9 Y mae fy ngolwg (gan dy lid)
  mewn gofid o fawr gystudd :
Duw, llefais arnad yn fy mraw,
  gan godi 'nwylaw beunydd.

10 Ai i'r meirw 'dangosi wŷrth ?
  a ddont i'th byrth i'th foli ?
11 A draethir dy fawl yn y bedd,
  a'th lân wirionedd heini ?
12 Ai mewn tywyll y mae dy rad ?
  a'th iownder yngwlâd angho' ?
13 Fal hyn (Duw) llefais arnat ti,
  O clyw fy ngweddi etto.

14 Pa'm (O f' Arglwydd a'm Duw) i'm rhaid
  y rhoi f' enaid ar wrthod ?
Ac y cuddi dy wyneb-pryd ?
  fy nghoel i gŷd sydd ynod.
15 Truan ymron marwolaeth wyf,
  mewn trymglwyf o'm hieuengctid :
A'th ofni bûm yn nych-beth gwael,
  gan ammeu cael mo'r iechyd.

16 Dy ddig a lifodd drosof fi,
  d'ofn sydd i'm torri'n efrydd :
17 Fel deifr y daethant yn fy nghylch,
  do, do, o'm hamgylch beunydd.
18 Ym mhell oddiwrthyf rhoist bob câr,
  pob cyfaill hygar heibio :
A'm holl gydnabod a fu gynt,
  yr ydynt yn ymguddio.

## PSALM LXXXIX.

MYFYRIAF gerdd, byth i barhâu,
  o drugareddau 'r Arglwydd .
A'i wirionedd i'm genau fydd,
  hyd dragywydd, yn ebrwydd.
2 Sef, d'wedais hyn ; Cair byth yn wir,
  adeiledir trugaredd :
I barhâu byth cair yn y nef
  dy gadarn gref wirionedd.

3 Fal hyn (O Dduw) attebaist ym',
  Mi wneuthym rwym, gan dyngu
I Ddafydd, f' etholedig was,
  a'r gair o'm gras yn tarddu.
4 Fal hyn sicrhâf dy had di byth,
  a gwnaf wehelyth drefniad :
I'th gadarn fainge, o oed i oed,
  mi rof bob troed yn wastad.

5 Am hyn y sicrwyd trag'wyddawl :
  y nef a fawl dy wŷrthiau
Yngorsedd saint, ynghyrchfa hedd,
  am bur wirionedd d'eiriau.
6 Pwy sydd cystal a'n Harglwydd cu,
  pe chwilid llu 'r wybrennau ?
Ym mysg angylion pwy mal Ion,
  sef ym mhlith meibion duwiau ?

7 Trwy gynnulleidfa ei saint ef
  Duw o'r nef sydd ofnadwy :

A thrwy'r holl fyd o'n hamgylch ni,
ei ofni sydd ddyladwy:
8 Pwy sydd debyg i ti, Dduw byw,
O Arglwydd Dduw y lluoedd?
Yn gadarn Ior, a'th wir i'th gylch,
o amgylch yr holl nefoedd.

9 Ti a ostyngi y môr mawr,
a'r don hyd lawr yn ystig.
10 A nerth dy fraich curi dy gas,
yr Aipht, fal gwas lluddedig.
11 Eiddot nef a daear i gyd;
seiliaist y byd a'i lanw:
12 Gogledd, deau, Tabor, Hermon,
sy dirion yn dy enw.

13 I'th fraich mae grym, mae nerth i'th law,
a'th gref ddeheu-law codi:
14 Nawdd a barn yw dy orsedd hir,
a nawdd a gwir a geri.
15 Eu gwynfyd i'r holl bobl a fydd,
a fo'n llawenydd ynod:
Ac yn llewyrch dy wyneb glân
y rhodian' i gyfarfod.

16 Yn d' unig enw di y cânt
fawl a gogoniant beunydd:
Yn dy gyfiawnder codi 'wnant,
ac felly byddant ddedwydd.
17 Can's ti wyt gryfder eu nerth hwy,
lle caffent fwy o dyciant:
Tydi a ddyrchefi eu cyrn,
ac felly cedyrn fyddant.

18 Can's o'r Arglwydd, a'i ddaioni,
y daw i ni ymddiffin:
O Sanct Israël trwy ei law,
oddiyno daw ein Brenhin.
19 I'th Sanct y rhoist gynt wybodaeth,
trwy weledigaeth nefol:
Gosodais gymmorth ar gryf Gun;
dyrchefais un dewisol.

20 Cefais (enneiniais ef yn ol)
fy ngwas dewisol Dafydd
21 Ag olew sanct: braich a llaw gref
rhoist gyd ag ef yn llywydd.
22 Ni chaiff gelyn ei orthrymmu,
na'i ddrygu un mab enwir:
23 O'i flaen y coetha'i elynion,
a'i holl gaseion dihir.

24 Fy ngwirionedd, a'm trugaredd,
rhof fi trwy gariad iddo:
Ac yn fy enw i yn ddïorn
dyrchefir ei gorn efo.
25 Gosodaf ei law ar y môr,
ac o'r goror bwygilydd:
A gosodaf ei law ddeau
hyd derfynau'r afonydd.

26 Ef a weddïa arnaf fi
i'w galedi, gan dd'wedyd,
Ti yw fy Nhad, fy Nuw, fy Ngharn,
yn gadarn o'm hieuengctyd.
27 Minnau gwnaf yntau im' yn Fab,
yn Gynfab ac Etifedd,
Ar frenhinoedd y ddaear las,
yn uwch ei ras a'i fawredd.

28 A chadwaf iddo (yr un wedd)
drugaredd yn drag'wyddol:
A'm cyfammod iddo yn llawn,
yn ffyddlawn, ac yn nerthol.
29 Gosodaf hefyd byth i'w had
nerth a mawrhâd uwch bydoedd:
A'i orsedd-faingc ef i barhâu
un wedd â dyddiau'r nefoedd.

30 Ond os ei blant ef (trwy afrôl)
nid ant yn ol fy nghyfraith,
Os hwy ni rodiant, gan barhâu,
i'm beirn a'm llwybrau perffaith;
31 Os fy neddfau a halogant,
ni chadwant fy holl eirchion:
32 Yna ymwelaf â'u cam gwrs,
â gwïail sewrs, neu goedffon.

33 Ond ni thorraf ag ef un nôd
o'm hammod a'm trugaredd:
Ac ni byddaf fi ddim yn ol
o'm hystyriol wirionedd.
34 Ni thorraf fy nghyfammod glân,
a ddaeth allan o'm genau:
Ac ni newidiaf air o'm llw;
mi a rois hwnnw'n ddïau.

35 Yn fy sancteiddrwydd tyngais im',
na phallwn ddim i Ddafydd:
36 Bydd ei had a'i drŵn, yn ddi draul,
o'm blaen fel haul tragywydd.
37 Yn dragywydd y sicrheir ef,
fel cwrs (is nef) planedau
Haul neu leuad, felly y bydd
ei gwrs tragywydd yntau.

38 Ond ti a'n ffieiddiaist ar fyr,
ac yn ddïystyr lidiog:
Ti a gyffroaist yn dra blin
wrth dy Frenhin enneiniog.
39 Diddymmaist di y air i'th was,
a'th ras, a'th addewidion:
Ac a'i halogaist ef yn fawr,
gan daflu i lawr ei goron.

40 A drylliaist ei fagwyrydd ef,
a'i gaer gref rhoist yn adwy:
41 Yn egored felly y mae
yn brae i bawb sy'n tramwy.
42 I'w gym'dogion gwarthrudd yw ef,
a than law gref ei elyn.
A llawen iawn y codent floedd,
bob rhai a oedd i'w erbyn.

43 Troist hefyd fin eu gleddau ef,
a'i law oedd gref, a blygaist.
44 Darfu ei lendid ef, a'i wawr,
a'i drŵn i'r llawr a fwriaist.
45 Pryd ei ieuengctid heibio'r aeth,
a thi a'i gwnaeth cyn fyrred:
A bwriaist drosto w'radwydd mawr,
o nef hyd lawr y torred.

46 Pa hyd, fy Nuw, y byddi 'nghudd?
ai byth, fy Llywydd nefol?
A lysg dy lid di fel y tân
yn gyfan yn drag'wyddol?
47 O cofia f' oes ei bod yn fer:
ai'n ofer gynt y gwnaethost
Holl blant dynion? O dal dy law,
ac in' ni ddaw yn rhydost.

48 Pa wr y sydd â'i oes dan sel,
na ddêl marwolaeth atto?
Pwy a all ddïangc, ac ni ddaw
y gaib a'r rhaw i'w guddio?
49 O mae dy nodded, Arglwydd gynt?
mae helynt dy drugaredd?
Mae dy lw, o ystyriol ffydd,
i Ddafydd i'th wirionedd?

50 Cofia, Arglwydd, yn w'radwydd llym
lle'r ydym ni, dy weision:
Yr hwn a dawdd i'm mynwes i,
gan ffrost y cawri mawrion.
51 Yr hwn warth 'r oedd d'elynion di
it' yn ei roddi 'n llidiog:
(Fy Arglwydd Dduw) a'r un sarhâd
i droediad dy Enneiniog.

52 Moler yr Arglwydd byth, Amen;
a byth Amen, hyn fyddo:

Moler yr Arglwydd byth, Amen;
a byth Amen, hyn fyddo.

## PSALM XC.

DUW! buost in' yn Arglwydd da,
ac yn breswylfa i drigo:
O bryd i bryd, felly yr aeth
pob rhyw genhedlaeth heibio.
2 Er cyn rhoi sail un mynydd mawr,
cyn llunio llawr cwmpas-fyd,
Duw! o drag'wyddol wyt cyn neb,
hyd drag'wyddoldeb hefyd.

3 Weithiau i ddinystr y troi ni;
troi dithau wedi 'n rhydda:
A d'wedi, cyn ein myn'd i'r llwch,
Dychwelwch, meibion Adda.
4 Can's deg can mlynedd fel doe ŷnt,
pan elo 'i helynt heibio,
O'th flaen di megis gwylfa nos,
ni chaiff ymddangos etto.

5 Nid yw dŷn ond fel hûn, neu ail
i addail, neu lifeiriant:
Neu megis glas lysieuyn gwan;
mor fuan y newidiant.
6 Yr hwn y bore gwŷrddlas fydd,
a gwawr o newydd arno:
Ond pan y torrer ef brydnawn,
yn fuan iawn mae'n gwywo.

7 Can's yn dy lid difethwyd ni,
gan ofni dy ddigofaint:
8 Rhoist di ein beiau gar dy fron,
a'n holl ddirgelion dryg-haint.
9 Can's trwy dy ddig mae'n dyddiau ni
a'n tegwch gwedi darfod:
A'n holl flynyddoedd ŷnt ar ben,
fel gorphen hen chwedl gorfod.

10 Ein holl flynyddoedd yw saith ddeg;
dau bump 'chwaneg, os bydd grym:
Yna ein nerth ai'n boen blin iawn,
i ffordd yr awn yn gyflym.
11 Ond pwy a edwyn nerth dy lid?
mawr ofid sydd o'th sorri:
Sef, fel y mae dy ofn di'n fawr,
dy ddig sydd ddirfawr ini.

12 Dysg felly 'n rifo'n dyddiau gwael,
i'n calon gael doethineb:
13 Duw, pa hŷd? tyr'd, a dod yn hawdd
i'th weision nawdd ac undeb.
14 Yn fore iawn diwalla ni
â'th fawr ddaioni eisoes:
Fel y caffom ni lawen fyd
yn hyfryd dros ein heinioes.

15 Gwna ni yn llawen; buom brudd,
pan oedd in' gystudd dybryd:
A chwedi llawer blwyddyn drom,
y rhai a gawsom adfyd.
16 O Dduw, gwna weled dy fawr waith,
a'th wŷrthiau maith i'th weision:
A'th odidowgrwydd, a'th ffyniant,
ym mysg eu plant a'u hwyrion.

17 Arnom ni doed rhad Duw, a'i nerth,
ei allu prydferth weithiaw:
Duw, dod ein gwaith mewn trefnid dda;
Duw, trefna waith ein dwylaw.

## PSALM XCI.

Y Sawl a drigo, doed yn nes,
yn lloches y Goruchaf:
Ef a ymerys i gael bod
ynghysgod hwn sydd bennaf.
2 Fy holl ymddiffyn wyt, a'm llwydd,
wrth fy Arglwydd y d'wedaf:
A'm holl ymddiried, tra fwy fyw,
sydd yn fy Nuw Goruchaf.

3 Can's ef a weryd yr oes dau,
oddiwrth faglau yr heliwr:
Ac hefyd oddiwrth bla, a haint,
echrys-haint, ac anghyfiwr.
4 Ei esgyll drosot ef a rydd,
dan ei adenydd byddi
Yn ddïogel: a'i wiredd gred
fydd gylch a bwcled iti.

5 Ni ddychryni er twrf y nos,
na'r dydd o achos hed-saeth:
6 Er haint, neu bla, mewn tywyll sydd,
neu hanner dydd, marwolaeth.
7 Wrth dy ystlys y cwympa mil,
a dengmil o'th law ddeau:
Ac ni ddaw drwg yn dy gyfyl;
a thi a'i gwŷl yn ddïau.

8 A'th lygaid y gweli di dâl
i'r enwir gwammal anian:
9 Sef fy holl obaith wyt (O Dduw)
ac uchel yw dy drigfan.
10 Ni ddigwydd niweid it', ond da,
na phla, na dim echryslon,
I'th eglwys a'th gyn'lleidfa nawdd:
11 Can's archawdd i'w angylion,

I'th ffyrdd dy gadw, a'th gynllwyn,
a'th ddwyn â'u dwylaw hardd-deg:
12 Rhag digwydd it' ddrwg (hyd yn oed)
taro dy droed wrth garreg.
13 Dy sangfa fydd ar y llew dig,
a'r asp wenwynig sethri;
Ar greulon genau 'r llew o'r graig,
ac ar y ddraig, y sengi.

14 Mi a'i gwaredaf ef rhag brad,
am roi ei gariad arnaf:
Am adnabod fy enw mau,
yn ddïau y dyrchafaf.
15 Geilw arnaf, m'a'i gwrandawaf,
mewn ing y byddaf barod:
Gwaredaf hefyd rhag ei gas,
a chaiff trwy urddas fawrglod.

16 Fo gaiff fyw yn ddigon o hŷd;
caiff yn y byd hir ddyddiau:
Dangosaf iddo radlawn faeth,
a'm hiachawdwriaeth innau.

## PSALM XCII.

MOLIANNU 'r Arglwydd da iawn yw,
a chyfarch Duw yn bennaf:
A chanu i'th enw di fawl,
a'th ganmawl (y Goruchaf)
2 Y bore am dy drugaredd,
a'th wirionedd son y nos:
3 Ar ddectant, nabyl, a thelyn,
myfyrio hyn, a'i ddangos.

4 Sef, trwy dy weithred llawen wy',
ennyn o nwy 'n fy Nuw Naf:
Yngwaith dy ddwylaw, fy Nuw Ior,
beunydd y gorfoleddaf.
5 Dy weithredoedd, ond mawrion ŷnt?
6 Dy helynt ni's gŵyr anghall:
Dy feddyliau o ddwfn iawn fryd,
hyn ni's gŵyr ynfyd ddeall.

7 Pan flodeuo yr enwir ddyn
megis llysieuyn iraidd:
Pan fo drygweilch yn gref eu plaid;
Duw, yno rhaid eu diwraidd.
Y drwg flagur uchel yr ant,
a hwy a syrthiant beunydd:
8 Tithau, yr Arglwydd, yn ddigel,
wyt uchel yn dragywydd.

9 O Arglwydd, wele d'elynion,
dy gaseion difethir:
A holl weithredwyr trais a cham,
yn ddinam, a wasgerir.
10 Tydi a ddyrchefi fy nghorn
fel yr unicorn perffaith:
Hefyd â gwerthfawr olew ir
y'm taeneliir i eilwaith.

11 Fy llygaid a welant hefyd
fy ngwynfyd o'm gelynion:
A'm clustiau a glywant ar frys
f' ewyllys am ddrwg ddynion.
12 Y cyfion blodeua i'r nen,
fel y balmwydden union.
Cynnyddu yn iraidd y bydd,
fel cedrwydd yn Libanon.

13 Y rhai a blannwyd yn nhŷ Dduw,
yn goedwydd byw y tyfant:
Ac ynghynteddau ein Duw ni
y rheini a flodeuant.
14 A dwyn eu ffrwyth a wnant o faint,
yn amser henaint etto.
Tirfion, iraidd, a phrofadwy,
a fyddant hwy yn hilio.

15 I ddangos nad traws, ac nad cam,
yw f' Arglwydd a'm cadernyd:
Ac nad oes ynddo na chamwedd,
na dim anwiredd hefyd.

## PSALM XCIII.

TEYRNASU y mae yr Arglwydd,
mewn ardderchowgrwydd gwisgodd
Ymwisgodd f' Arglwydd yn brydferth,
â nerth yr ymwregysodd.
2 Fe a sicrhaodd sail y byd
heb syflyd, yn ddihareb:
Dy fainge erioed a ddarparwyd;
ti wyd er trag'wyddoldeb.

3 Y llifeiriaint (fy Arglwydd) faint
y llifeiriaint yn codi:
Tyrfau a llif yn rhwygo'r llawr,
a thonnau mawr yn coethi.
4 Cadarn yw tonnau y moroedd,
gan dyrfau dyfroedd lawer:
Cadarnach yw yr Arglwydd mau
yn nhyrau yr uchelder.

5 Dy dystiolaethau ŷnt siwr iawn:
sef cyfiawn yw sancteiddrwydd:
A gweddus yn dy dŷ di fydd
byth yn dragywydd, f' Arglwydd.

## PSALM XCIV.

O Arglwydd Dduw, Duw mawr ei rym,
Dialwr llym pob traha:
O Dduw y nerth, ti bïau'r tâl,
a'r dïal, ymddisgleiria.
2 Ymddyrcha di, Farnwr y byd,
a thâl i gŷd eu gobrwy:
I'r beilchion a'r trahäus dod
y tâl a fo dyladwy.

3 Pa hŷd (O Arglwydd) O pa hŷd
y chwardd gwŷr byd drygionus?
4 Yr ymfalchïant yn eu drwg,
gan fygwth amlwg ffrostus?
5 A'th bobl di, Arglwydd, a faeddant,
a chystuddiant dy dreftâd:
6 Y weddw a'r dïeithr a laddant,
lladdant yr amddifad.

7 D'wedasant hyn heb geisio cel;
Ein gwaith ni wel yr Arglwydd:
Ac ni ddeall Duw Iago hyn;
i ni ni ddisgyn aflwydd.

8 Ym mysg y bobloedd difraw dôn,
ystyriwch ddynion anghall:
Chwithau ynfydion, O pa bryd
y rhowch eich bryd ar ddeall?

9 Hwn a wnaeth y glust i bob byw,
oni chlyw ef yn amlwg?
Ac oni wel hwnnw yn hawdd,
a luniawdd i ni olwg?
10 Oni cherydda hwnnw chwi,
sy'n cospi pob cenhedlaeth?
Ac oni ŵyr hwnnw y sy'n
dysgu i ddyn wybodaeth?

11 Gŵyr yr Arglwydd feddyliau dŷn,
mai gwagedd ydyn', diffaith:
12 Duw, dedwydd yw a gospech di,
a'i fforddi yn dy gyfraith.
13 Yr hon a ddysg i ddyn warhâu,
i fwrw dyddiau dihir,
Tra foer yn darparu y clawdd,
y fan y bawdd yr enwir.

14 Can's ein Ior ni ei bobl ni ad,
a'i wir dreftâd ni wrthyd:
15 Ef at farn iawn a gadarnhâ,
a phob dŷn da a'i dilyd.
16 Pwy a gyfyd gyd â myfi
yn erbyn egni trawsedd?
Pa rai a safant ar fy nhu
yn erbyn llu anwiredd?

17 Oni bai fod Duw imi 'n borth,
ac estyn cymmorth imi,
Braidd fu na ddaethai im' y loes
a toisai f' oes i dewi.
18 Pan fawn yn cwyno, dan drymhân,
rhag bod i'm camrau lithro:
Fy Arglwydd, o'th drugaredd drud,
di a'm cynhelyd yno.

19 Pan fo ynof amlaf yn gwau
bob rhyw feddyliau trymion:
Doe dy ddiddanwch di ar dro,
i gysuro fy nghalon.
20 A oes gyfeillach i ti, Dduw,
â mainge yr annuwiolion,
Hwn a lunia anwiredd maith
yn lle y gyfraith union?

21 Y rhai sy'n ymdyrru ynghŷd,
ar fryd dwyn oes y cyfion:
Ac yn eu cynghor yr ymwnâed
i geisio gwaed y gwirion?
22 Ond yr unig Ior sydd, er hyn,
yn llwyr ymddiffyn f' enaid:
Ef yw fy nerth o'm bol a'm blaen,
a sylfaen fy ymddiriaid.

23 Efe a dâl i bob dŷn drwg
yn amlwg am ei gamwedd:
Y maleisus tyn Duw o'r byd,
am ei chwŷd o anwiredd.

## PSALM XCV.

O Dowch, a chanwn i'r Arglwydd,
efe yw llwydd ein bywyd:
Ac ymlawenhâwn yn ei nerth,
ef yw ein prydferth iechyd.
2 O down yn unfryd ger ei fron
â chalon bur ddïolchgar:
Brysiwn at Dduw, dan lawenhâu,
a chanwn psalmau 'n llafar,

3 Herwydd yr Arglwydd nef a llawr
y sy Dduw mawr yn ddïau:
Tywysog mawr yw ef mewn trin,
a Brenhin yr holl dduwiau.
4 Efe bïau 'r holl ddaear gron,
a'r dyfnder eigion dano:

Uchelder hefyd, eithafoedd,
mynyddoedd sydd yn eiddaw.

5 Ef biau'r moroedd uwch pob traeth,
ac ef a'u gwnaeth i ruo:
Ei ddwylaw ffurfiasant yn wir
y sychdir, ac sydd ynddo.

6 Dowch, addolwn, cyd-ymgrymmwn,
ac ymostyngwn iddaw:
Ef yw ein Harglwydd unben Rhi,
ef a'n gwnaeth ni â'i ddwylaw.

7 Can's ef i ni y sydd Dduw da
a phobl ei borfa ydym:
A'i ddefaid ŷm, os chwi a glyw
ei air ef heddyw'n gyflym.

8 Meddyliwch fod eich bai ar led;
na fyddwch galed galon:
Fel yn nydd prawf, mewn anial dir,
lle' cofir bod ymryson.

9 Y lle temtiodd eich tadau fi,
a'm profi i'm hadnabod:
Faint ydoedd y gweithredoedd mau,
yn ddiau cawsant wybod.

10 Dros ddeugain mlynedd â'r llin hon,
trwy fawr ymryson, d'wedais,
Pobloedd ŷnt cyfeiliornus iawn,
a'u calon yn llawn malais.

Can's nid adwaenent y ffyrdd mau,
onid amlhâu eu tuchan:
11 Wrthynt i'm llid y tyngais hyn,
na ddelyn' i'm gorphwysfan.

## PSALM XCVI.

O Cenwch glod i'r Arglwydd mad,
a moeswch ganiad newydd:
Yr holl ddaear, datgenwch fawl
yr Arglwydd nefawl beunydd.

2 Cenwch chwi glod i'r Arglwydd nef,
a'i enw ef bendigwch,
A'i iachawdwriaeth, trwy grefydd,
o ddydd i ddydd cyhoeddwch.

3 Datgenwch byth ei glod a'i rad
yngwlâd y cenhedlaethoedd,
A'i ryfeddodau ef ym mhlith
pob amryw, amrith bobloedd.

4 Can's ein Harglwydd ni sydd Dduw mawr,
a rhagawr canmoladwy:
Uwch yr holl dduwiau y mae ef
yn Frenhin nef ofnadwy.

5 Duwiau y bobl eilunod ŷnt;
ni ellynt mwy nâ chysgod:
A'n Duw ni a wnaeth nef a llawr;
fel dyna ragawr gormod.

6 Can's mawr ydyw gogoniant nef,
ac o'i flaen ef mae harddwch:
Yn ei gyssegr ef y mae nerth,
a phrydferth yw'r hyfrydwch.

7 Chwi dylwythau y bobloedd, trowch,
yn llawen rhowch i'r Arglwydd,
I'r Arglwydd rhowch ogonedd fry,
a nerth; a hynny 'n ebrwydd.

8 Rhowch ogoniant i'w enw ef,
yr Arglwydd nef byth bythoedd:
A bwyd offrwm iddo a rowch,
a chwi dowch i'w gynteddoedd.

9 Addolwch f' Arglwydd ger ei fron
i'w gyssegr, digon gweddol:
A'r ddaear rhagddo, hŷd a lled,
dychryned yn aruthrol.

10 I'r holl genhedloedd d'wedwch hyn;
Yr Arglwydd sy'n teyrnasu:
Nid ysgog y byd, sy'n sicr iawn;
ef a ŵyr uniawn farnu.

11 O llawenhâed nefolaidd do,
i'r ddaear bo gorfoledd:
Rhued y môr a'i donnau llawn,
a'r pysg sy' mewn ei annedd.

12 A gorfoledded y maes glas,
ei dwf, a'i addas ffyniant:
A phob pren gwyrdd sydd yn y coed,
i'r Arglwydd rhoed ogoniant.

13 Am ei ddyfod, am ei ddyfod,
a'i farn sydd hynod iawnwedd:
Barna yn gyfion yr holl fyd,
a'r bobl, â'i gyd-wirionedd.

## PSALM XCVII.

YR Arglwydd ydyw ein pen rhaith,
bo perffaith y ddaearen:
Ynysoedd cedyrn yr holl fyd,
bont hwy i gŷd yn llawen.

2 Niwl a thywyllwch s' i'w gylch ef,
hyfrydwch nef gyfannedd:
Iawnder a barn ydynt yn sail
ac adail mainge ei orsedd.

3 Tân â o'i flaen ef, ac a lysg
ym mysg ei holl elynion:
4 A'i fellt yn ffamio trwy 'r holl fyd,
oedd olwg enbyd ddigon.
5 O flaen Duw, fel y tawdd y cwyr,
y bryniau 'n llwyr a doddent:
O flaen hwn (sef yr Arglwydd) ar
y ddaear y diflannent.

6 Yr holl nefoedd yn dra hyspys
a ddengys ei gyfiawnedd:
A'r holl genhedloedd a welsant
ei fawr ogoniant rhyfedd.

7 Gwradwydd i'r rhai a was'naethan'
y delwau mân cerfiedig:
Addolwch ef (nid eilun gau)
holl dduwiau darfodedig.

8 Dy farnedigaeth (O Dduw Ion)
a glybu Seion ddedwydd:
Merched Juda (o herwydd hyn)
sy'n ennyn o lawenydd.

9 Can's ti (O Arglwydd) wyt, fy Naf,
Oruchaf dros y ddaear:
Rhagorol yw 'r dyrchafiad tau
uwchlâw'r holl dduwiau twyllgar.

10 Pob drygioni chwi a gasewch,
caru a wnewch yr Arglwydd:
Hwn sydd yn cadw oes ei saint,
i'w dwyn o ddrygfaint afrwydd.

11 Mewn daear yr egina 'i had,
goleuad daw i'r cyfion:
Ar ol tristwch, fo dry y rhod
i lân gydwybod union.

12 Yn yr Arglwydd, o'r achos hon,
chwi gyfion, llawenychwch:
Trwy goffa ei sancteiddrwydd ef,
â llais hyd nef moliennwch.

## PSALM XCVIII.

CENWCH i'r Arglwydd newydd gân,
ei waith fu lân ryfeddod:
Ei law ddehau a'i fraich a wnaeth
in' iachawdwriaeth parod.

2 Yr Arglwydd hyspys in' y gwnaeth
ei iachawdwriaeth gyhoedd:
A'i gyfiawnder ef yn dra hawdd
datguddiawdd i'r cenhedloedd.

3 Fe gofiodd ei drugaredd hir,
a'i wir, i dŷ Israel:
Fel y gwelodd terfynau 'r byd
ei iechyd yn ddiymgel.

4 I'r Arglwydd â chaniad llafar,
chwi, yr holl ddaear, cenwch:
A llafar lais, ac eglur lef,
fry hyd y nef y lleisiwch.

5 Cenwch i'r Arglwydd Dduw fel hyn,
â'r delyn, a chywirdant:
A chyd â'r delyn, lais a thôn,
rhowch iddo gysson foliant.
6 Canu yn llafar ac yn rhwydd,
o flaen yr Arglwydd Frenhin,
Ar yr udgyrn, a'r chwythgyrn pres;
fel dyna gyffes ddibrin.

7 A rhued y môr mawr i gŷd,
a'r byd, ac oll sydd ynddynt:
8 Y llif-ddyfroedd, a'r mynyddoedd,
y mae yn addas iddynt.
9 Curant, canant, o flaen Duw cu,
yr hwn sy'n barnu'r bydoedd:
I'r byd y rhydd ei farn yn iawn,
ac yn uniawn i'r bobloedd.

PSALM XCIX.

YR Arglwydd Dduw yw ein Brenhin,
er maint yw trîn y bobloedd:
Mae'n eistedd rhwng dau gerubyn;
fe gryn pob daear-leoedd.
2 Canys Brenhin mawr ydyw'r Ion
yn Seïon, o'i ddyrchafel:
Ac uwchlaw pobloedd yr holl fyd,
y sydd o ryddyd uchel.

3 Cyd-foliannant, o'r nef i'r llawr,
dy enw mawr rhagorol:
Ofnadwy, sanctaidd, yw i'w drin.
4 Tithau (O Frenhin nerthol)
A geri farn, darperi iawn,
yn gyfiawn heb draws-osgo:
A barnedigaeth bur ddidôst
a wnaethost di yn Iago.

5 Dyrchefwch yr Arglwydd ein Duw;
sef sanctaidd yw i'w fawrodd:
Ymgrymmwch o flaen ei stol-draed;
felly parhâed ei fawledd.
6 Moses ac Aron, sanctaidd blaid,
ym mhlith offeiriaid gyrrodd:
Samuel galwai ei enw ef;
yntau o'r nef attebodd.

7 Mewn colofn o niwl y bu wiw
gan Dduw lefaru wrthynt,
Tra fuant hwy yn cadw ei fodd,
a'r ddeddf a roddodd iddynt.
8 Gwrandewaist arnynt, dodaist ged,
a'u harbed, gan ymattal:
Duw ein Nâf, dy nawdd parod fu,
a hwythau 'n haeddu dïal.

9 Dyrchefwch eich Duw Ior am hyn,
yn Seion fryn cyssegraidd:
Ymgrymmwch iddo yn eich byw;
sef unig Dduw sydd sanctaidd.

PSALM C.

I'R Arglwydd cenwch lafar glod,
a gwnewch ufudd-dod llawen fryd:
2 Dowch o flaen Duw â pheraidd dôn,
trigolion y ddaear i gŷd.
3 Gwybyddwch mai'r Arglwydd sydd Dduw,
a'n gwnaeth ni'n fyw fel hyn i fod,
Nid ni'n hunain: ei bobl ŷm ni,
a defaid rhi' ei borfa a'i nôd.

4 O ewch i'w byrth â diolch brau;
yn ei gynteddau molwch ef:
Bendithiwch enw Duw hynod;
rhowch iddo glod trwy lafar lef.

5 Can's da yw'r Arglwydd, Awdur hedd;
da ei drugaredd, a dilyth:
A'i wirionedd i ni a roes,
o oes i oes a bery byth.

PSALM CI.

DATGANAF drugaredd a barn,
i'r Arglwydd cadarn canaf:
2 Byddaf ddeallus mewn ffordd wych,
hyd oni ddelych attaf.
A rhodiaf yn fy nhŷ yn rhwydd,
a thrwy berffeithrwydd calon:
3 Pob peth drwg sydd gennyf yn gas,
a childyn ddiras ddynion.

4 Calon gyndyn ynof ni bydd;
drwg weithydd ni 'dnabyddaf:
5 'Sglandrwr dirgel, a'r balch uchel,
o'r achos ni oddefaf.
6 Ar ffyddloniaid mae 'ngolwg i;
fe lŷn y rheini wrth 'i:
A'r hwn a rodio mewn ffordd dda,
hwn a was'naetha imi.

7 Ni chaiff aros o fewn fy nhŷ
un dŷn ag sy dwyllodrus:
Yn fy ngolwg un dŷn ni bydd
a lunio gelwydd trefnus.
8 Holl annuwiolion fy ngwlad faith
yn fore ymaith torraf:
Fel na ddelont i ddinas Dduw,
y cyfryw a ddiwreiddiaf.

PSALM CII.

O Arglwydd, erglyw fy ngweddi,
a doed fy nghri hyd attad:
2 Na chudd d'wyneb mewn ing tra fwyf;
clyw, clyw, pan alwyf arnad.
3 Fy nyddiau aethant fel y mŵg,
sef cynddrwg y'm cystuddiwyd:
Fy esgyrn poethant achos hyn,
fel 'tewyn ar yr aelwyd.

4 Fy nghalon trawyd â chryn ias,
ac fel y gwellt-glas gwywodd:
Fel yr anghofiais fwytta 'mwyd;
dirmygwyd fi yn ormodd.
5 Glynodd fy esgyrn wrth fy nghroen,
gan faint fy mhoen a'm tuchan:
6 Fel un o'r anialwch, lle trig
y pelig, neu'r dylluan;

7 Neu fel un o adar y to,
a fai yn gwylio 'i fywyd,
Yn rhodio 'n unig ben y tŷ,
wyf anhy, ac anhyfryd.
8 Fy ngelynion, â thafod rhŷdd,
hwy beunydd a'm difenwant:
A than ynfydu yn eu gwŷn,
i'm herbyn y tyngasant.

9 Fel llwch a lludw yn fy mhla,
fu'r bara a fwytteais:
Yr un wedd yn y ddïod fau
fy nagrau a gymmysgais.
10 A hyn fu o'th ddigofaint di,
am it' fy nghodi unwaith:
Ac herwydd bod dy ddig yn fawr,
i'r llawr y'm teflaist eilwaith.

11 Fy nyddiau troisant ar y rhod,
ac fel y cysgod ciliant:
Minnau a wywais, achos hyn,
fel y glaswelltyn methiant.
12 Ond tydi, Dduw, fy Arglwydd da,
a barhei yn drag'wyddol:
O oes i oes dy Enw a aeth
mewn coffadwriaeth grasol.

13 O cyfod bellach, trugarhâ,
O Dduw, bydd dda wrth Seion:
Mae'n fadws iddi drugarhâu,
fel dyma 'r nodau'n union.
14 Can's hoff iawn gan dy weision
ei meini a'i magwyrau:
Maent yn tosturio wrth ei llwch,
a'i thristwch, a'i thrallodau.

15 Yno yr holl genhedloedd byw
yr Arglwydd Dduw a ofnant:
A'r holl frenhinoedd trwy y byd
a ront it' gyd-ogoniant.
16 Pan adeilader Seion wŷch,
a hon yn ddrych i 'r gwledydd:
Pan weler gwaith yr Arglwydd ne',
y molir e'n dragywydd.

17 Edrychodd hwn ar weddi 'r gwael;
rhoes iddynt gael eu harchau:
18 'Sgrifenir hyn; a'r oes yn ol
a gaiff ei ganmol yntau.
19 Can's Duw edrychodd o'r nef fry
ar ei gyssegr-dŷ, Seion:
20 Clybu ei griddfan, er rhyddhâu
plant angau 'i garcharorion.

21 Fel y cyd-leisient hwy ar gân,
yn Seion lân, ei foliant:
Ac yng Nghaersalem, yr un wedd,
ei fawredd a'i ogoniant.
22 Hyn fydd pan gasglo pawb ynghŷd
yn unfryd i'w foliannu:
A'r holl deyrnasodd dont yngŵydd
yr Arglwydd, i'w was'naethu.

23 Duw ar y ffordd lleiha'dd fy nerth,
byrha'dd fy mhrydferth ddyddiau:
A mi'n disgwyl rhyddhâd ar gais,
yna y d'wedais innau,
24 O Dduw, na thor fy oes yn frau
ynghanol dyddiau f' oedran:
Dy flynyddoedd di sydd erioed,
o oed i oed y byddan'.

25 Di yn y dechreu dodaist sail
odd' isod adail daear:
A chwmpas wybren uwch ein llaw
yw gwaith dy ddwylaw hawddgar.
26 Darfyddant hwy, parhêi di byth,
Treuliant fel llyth drwsiadau:
27 Troi hwynt fel gwisg, llygru a wnant;
felly newidiant hwythau.

Tithau, Arglwydd, yr un wyt ti,
a'th flwyddau ni ddarfyddant:
28 Holl blant dy weision ger dy fron,
a'u hwyrion, a breswyliant.

## PSALM CIII.

FY enaid, mawl Sanct Duw yr Ion,
a chwbl o'm heigion ynof:
2 Fy enaid, n' ad fawl f' Arglwydd nef,
na'i ddoniau ef, yn anghof.
3 Yr hwn sy'n maddeu dy holl ddrwg,
yr hwn a'th ddwg o'th lesgedd:
4 Yr hwn a weryd d' oes yn llon,
drwy goron o'i drugaredd.

5 Hwn a ddiwalla d' enau di
â'i lawn ddaioni pybyr:
Trwy adnewyddu it' dy nerth
mor brydferth a'r hen eryr.
6 Yr Ion cyfiawnder, barn a wnai
i 'r rhai sydd orthrymmedig:
7 Dangos a wnaeth ei brif ffyrdd hen
i Foesen yn nodedig;

Ac i Israël ei holl ddawn.
8 Duw, llawn yw o drugaredd:
Hwyr yw ei lid, parod ei rad;
fel dyna gariad rhyfedd.
9 Nid ymryson ef â ni byth;
nid beunydd chwŷth digofaint:
10 Nid yn ol ein drygau y gwnai
â ni; ni'n cospai cymmaint.

11 Cyhyd ag yw 'r ffurfafen fawr
oddiar y llawr o uchder:
Cymmaint, i 'r rhai a'i hofnant ef,
fydd nawdd Duw nef bob amser.
12 Os pell yw 'r dwyrain oleu hin
oddiwrth orllewin fachlud:
Cyn belled ein holl bechod llym
oddiwrthym ef a'i symmud.

13 Ac fel y bydd nawdd, serch, a chwant,
tad da i'w blant naturiol:
Felly cawn serch ein Tad o'r nef,
os ofnwn ef yn dduwiol.
14 Efe a'n hadwyn ni yn llwyr;
fe ŵyr mai llwch yw'n defnydd;
15 Oes dŷn fel gwellt-glas sy'n tegbâu,
neu ddail, neu flodau maesydd.

16 Yr hwn, cyn gynted ag y dêl
y gwŷnt â'i awel drosodd,
A chwythir ymaith felly o'i le,
na wyddys p'le y tyfodd.
17 Ond graslawn drugaredd a fydd
yn lân dragywydd feddiant,
O oes i oes, heb drangc, heb drai,
gan Dduw i 'r rhai a'i hofnant.

18 A'i gyfiawnder i blant y plant
a gadwant ei gyfammod:
O chofiant ei orch'mynion ef,
mae teyrnas nef yn barod.
19 Yno mae ei orseddfa ef,
sef yn y nef trag'wyddol:
A llywio y mae ef bob peth
drwy ei frenhini'eth nefol.

20 Bendithiwch chwi yr Arglwydd Ion,
angylion, a'i holl gedyrn:
Ei lân orch'myn ef a wnewch,
a'i lais gwrandêwch yn drachwyrn.
21 Bendithiwch chwi yr Arglwydd Ner,
ei luoedd tyner tirion:
Ei 'wyllys gwnewch, canlynwch wir,
chwychwi ei gywir weision.

22 Bendithiwch chwi yr Arglwydd nef;
ei holl waith ef sy hylwydd:
Ym mhob man oll o'i drefn a'i hawl,
O f' enaid, mawl di'r Arglwydd.

## PSALM CIV.

FY enaid, mola'r Arglwydd byw,
O f' Arglwydd, Dduw y mawredd;
Mawr wyt, gogoniant a gai di;
ymwisgi ag anrhydedd.
2 Megis ei ddillad, y gwisg fo
am dano y goleuad:
Rhydd yn ei gylch yr wybr ar dân,
yn llydan, fel llen wastad.

3 Ar ddeifr rhoes sail ei 'stefyll cau;
gwnaeth y cymmylau iddo
Yn drŵn olwynog: mae ei hynt
uwch esgyll gwŷnt yn rhodio.
4 Gwnaeth bob chwythad iddo'n gennad,
gogonedd y ffurfafen:
A'i weinidogion o fflam dân
a wibian rhŷd yr wybren.

5 Cref y rhoes sail y ddaear gron,
fel na syfl hon oddiyno:
Yr hon a bery, fel y rhoes,
o oes i oes heb siglo.

6 Tydi (Dduw) a ddilledaist hon
à'r eigion yn fantellau :
Ac oni bai dy ddeheu-law,
ai'r deifr uwchlaw y bryniau.

7 Gan dy gerydd maent hwy yn ffo,
fel pan y synio taran :
Trwy fraw a brys ar hŷd y ddol
y deifr i'w hol a lithran'.
8 Weithiau y codai'r deifr yn fryn ;
weithiau fel glyn pannylent,
Lle' trefnaist iddynt bannwl cau ;
ac weithiau y gorphwysent.

9 Gosodaist derfyn lle'r arhônt,
ac fel nad elont drosto :
Ac na ddelont hwy fyth dros lawr
y ddaear fawr, i'w chuddio.
10 Rhoes Duw ffynnon i bob afon,
a phawb a yfant beunydd :
A rhed y ffrydau 'rhŷd y glyn,
a rhwng pob bryn a'i gilydd.

11 Yfant yno 'nifeiliaid maes,
asynod myng-laes gwŷlltion,
Heb ymadael â llawr y nant,
hyd onid yfant ddigon.
12 Ac adar awyr dont ger llaw,
i leisiaw rhwng y coedydd :
Yn canu 'fawl o bren i bren,
cethlyddiaeth lawen ufudd.

13 Dwfr ar fynyddoedd lle ni ddaw,
fo wlych â gwlaw oddiarno :
A'r gwastad dir ele a'i gwlych,
bob grwn a rhych i ffrwytho.
14 Parodd i'r gwellt dyfu, wrth raid
anifeiliaid : a'r llysiau,
Er da i ddyn ; lle rhoes, o'r llawr,
ymborthiant mawr rhag angau.

15 A gwin llawena calon dŷn,
ag olew tywyn wyneb :
A bara nerthir calon gŵr,
mewn cyflwr digonoldeb.
16 Preniau'r Arglwydd, o sugn llawn,
o'i unig ddawn y tyfan' :
Sef y coed cedrwŷdd brigog mawr,
a roes e'n llawr y Liban.

17 Lle mae nythod yr adar màn
mewn preniau glàn cadeirir :
Lle, mewn ffynnidwŷdd gwyswŷdd glyn,
mae tŷ'r aderyn trwynhir.
18 Y mynydd uchel, a'r bryn glas,
yw llwybr y danas fychod :
Ogof y dollgraig a wna les,
yn lloches i'r cwningod.

19 Fe roes i'r lleuad ei chwrs clau,
a'i chyfnewidiau hefyd :
A'r haul o amgylch y byd crwn,
fo edwyn hwn ei fachlud.
20 Tywyllwch nos a roed, wrth raid,
i fwystfiliaid y coedydd :
21 Y llewod rhuant am gael maeth
gan Dduw, ysglyfaeth beunydd.

22 A chwedi cael yr ymborth hyn,
pan ddêl haul attyn' unwaith,
Ymgasglant hwy i fyn'd i'w ffau,
ac i'w llochesau, eilwaith.
23 Y pryd hwn cyfyd dŷn i'w waith,
ac i'w orchwyliaeth esgud :
Ac felly'r erys dan yr hwyr,
lle 'caiff yn llwyr ei fywyd.

24 O Dduw, mor rhyfedd yw dy waith,
o'th synwyr berffaith ddoethder!
Gwnaethost bob peth à doethder dawn,
a'r tir sy lawn o'th gyfoeth.

25 A'r llydan for, y deifr ym mysg,
lle aml yw pysg yn llemmain :
Lle yr ymlusgant, rif yr ôd,
bwystfilod mawr a bychain.

26 Yno yr â y llongau glân
dros y Lefiathan heibio,
Yr hwn' osodaist di, lle mae
yn cael ei chwarae yndde.
27 Hwynt oll disgwyliant, yn ei bryd,
am gael oddiwrthyd borthiant :
I gael dy rodd, ymgasglu 'nghyd,
ie am eu bywyd, byddant.

28 Duw, pan agorech di dy law,
oddiyno daw daioni :
Pob anifail, a phob rhyw beth,
a ddaw yn ddifeth ini.
29 Pan guddiech di dy wyneb-pryd,
a chasglu d' yspryd allan :
Crynant, trengant, ac ant i'w llwch,
mewn diwedd trwch a thwrstan.

30 Duw, pan ollyngech di dy rad,
fel rhoddi cread newydd,
Y modd hyn wyneb yr holl dir
a adnewyddir beunydd.
31 Yr Arglwydd gogoneddus fydd,
trwy fawr lawenydd, bythoedd :
Yr Arglwydd yn ddiau a fedd
orfoledd yn y nefoedd.

32 Ein Duw o'r nef a edrych ar
y ddaear, a hi 'ddychryn :
Os cyffwrdd â'r mynyddoedd draw,
y mŵg a ddaw o honyn'.
33 Canaf i'r Arglwydd yn fy myw ;
canaf i'm Duw tra fyddwyf :
34 Mi a lawenhâf yn fy Ion ;
bydd ffyddlon hyn a wnelwyf.

35 Y trawsion oll o'r tir ant hwy ;
ni bydd mwy annuwiolion :
Fy enaid, mola Dduw yn rhodd ;
mae hyn wrth fodd fy nghalon.

## PSALM CV.

CLODFORED pawb yr Arglwydd nef,
ar ei enw ef y gelwch :
A'i weithredoedd ym mysg pobloedd
yn gyhoedd a fynegwch.
2 Cenwch ei gerdd, clodforwch hwn,
a'i ddidwn ryfeddodau :
3 Y rhai a gais ei enw (y Sant)
llawenant â'u calonnau.

4 Ceisiwch yr Arglwydd, a'i nerth mawr,
a'i fodd bob awr yn rhadlon :
5 Cofiwch ei holl ryfeddodau,
a barn ei enau cyfion.
6 O had Abraham ei was fo,
o feibion Iago'r ethol :
7 Ef yw ein Duw, a'i farn ef aeth
dros holl diriogaeth fydol.

8 Bob amser cofiodd ei gyngrair,
ei air, a'i rwym ammodau,
9 Ag Abraham, Isac, a'i hil,
a mil o genhedlaethau.
10 Fe roes i Iago hyn yn ddeddf,
ac yn rwym greddf drag'wyddol :
11 Ac i Israël y rhoes lân
wlad Canan yn gartrefol.

12 Pan oedd yn anaml iawn eu plaid
a hwy 'n ddieithriaid ynddi :
13 Ac yn rhodio o'r wlad i'r llall,
yn dioddef gwall a chyni ;
14 Llesteiriodd iddynt gam yn dynn ;
o'r achos hyn, brenhinoedd

A geryddodd ef yn eu plaid;
a'i air a gaid yn gyhoedd.

15 A'm Henneiniog na chyffyrddwch;
na ddrygwch fy mhrophwydi:
16 Galwodd am newyn ar y tir;
yn wir dug fara' houi.
17 O flaen ei blant y gyrrodd ras;
Joseph yn was a werthwyd:
18 Ar ei draed y rhoed haiarn tyn;
mewn gefyn y cystuddiwyd.

19 Gwisgodd y gefyn hyd y byw,
nes i air Duw amseru:
Trwy Dduw y cafas ef ryddhâd,
a phrifiad, er ei garu.
20 Yna 'gyrrwyd i'w gyrchu fo
ger bron hen Pharo frenhin:
Ac y gollyngwyd ef ar led
o'i gam gaethiwed ryflin.

21 O hyn ei osod ef a wnaeth
yn bennaeth ar ei deulu,
Ac o'i holl gyfoeth ef, a'i wlad,
ys da fawrhâd oedd hynny;
22 I ddysgu rheolwŷr ei lys
ei 'wyllys a'i foddlondeb:
I fforddio henuriaid y wlad
yn wastad mewn doethineb.

23 Daeth Israël i'r Aipht, tir Cam,
lle'r oedd yn ddinam estron:
24 Lle llwyddodd Duw hil Iago bach
yn amlach nâ'u caseion.
25 Yna y troes eu calon gau
i lwyr gasâu ei bobloedd:
I'w weision ef i wneuthur twyll,
a llid (nid ammhwyll) ydoedd.

26 Duw gyrrodd Foesen, ei was hen,
ac Aron lên dewisol,
27 Yn nhir Ham i arwyddocâu
ei nerth a'i wŷrthiau nodol.
28 Rhoes Duw dywyllwch dros y wlad;
er hyn ni chad ufudd-dod:
29 Eu dyfroedd oll a droed yn waed;
a lladd a wnaed eu pysgod.

30 I'w tir rhoes lyffaint, heidiau hyll
yn 'stefyll eu brenhinoedd:
31 Daeth ar ei air wybed, a llau,
yn holl fannau eu tiroedd.
32 Fo wlawiodd arnynt genllysg mân,
a'u tir â thân a ysodd:
33 Eu gwinwŷdd a'u ffigyswŷdd mad,
a choed y wlad, a ddrylliodd.

34 Ceiliog rhedyn, a lindys brwd,
yn difa cnwd eu meusydd:
35 Uwchlaw rhif, trwy ŷd, gwellt, a gwair;
a hyn trwy air Duw Ddofydd.
36 Cyntaf-anedig pob pen llwyth,
a'u blaenffrwyth, ef a d'rawodd,
Ym mhob man trwy holl dir ei gas;
a'i bobl o'i ras a gadwodd:

37 Ac a'u dug hwynt yn rhŷdd mewn hedd,
o 'winedd eu caseion,
Heb fod o honynt un yn wan,
ag aur ac arian ddigon.
38 A llawen fu gan wŷr y wlad,
o'r Aipht pan gad eu gwared:
Daeth arnynt arswyd y llaw gref
a ddaeth o'r nef i wared.

39 Rhoes Duw y dydd gwmmwl uwch ben;
fel mantell wen y toodd:
A'r nos goleuodd hwynt â thân;
fal hyn yn lân y t'wysodd.
40 Fe a roes iddynt, ar y gair,
gig sofl-iair i'w boddloni:
A bara, o'i orchymyn ef,
a ddaeth o'r nef i'w porthi.

41 Holltodd y graig, daeth deifr yn lli,
fel pe baent brif afonydd:
Cerddodd yr hedlif, a rhoes wlych
'rhŷd pob lle sych o'r gweledydd.
42 Cofio a wnaeth ei air a'i ras
i Abram ei was ffyddlon:
43 A thrwy fawr nerth, yn rhŷdd o gaeth
y gwnaeth ei ddewisolion.

44 Tir y cenhedloedd iddynt rhoes,
a'u llafur troes i'w meddiant:
45 Er cadw ei air a'i gyfraith ef,
rhowch hyd y nef ei foliant.

## PSALM CVI.

MOLWCH yr Arglwydd, can's da yw;
moliennwch Dduw y Llywydd:
Oblegid ei drugaredd fry
a bery yn dragywydd.
2 'R Arglwydd pwy all draethu ei nerth,
a'i holl dirion-ferth foliant?
3 A wnel gyfiawnder gwŷn eu byd,
ei farn i gŷd a gadwant.

4 O Arglwydd, cofia fi dy was,
yn ol dy ras i'r eiddod:
Ymwêl â mi, i'm cystudd caeth,
â'th iachawdwriaeth barod.
5 Fel y gwelwyf, ac y chwarddwyf,
wych urddas d'etifeddiaeth:
Ac y cyd-ganwyf fawl un dôn
â'th ddewisolion odiaeth.

6 Pechod, camwedd, ac annoethedd,
a wnaethom gyd â'n tadau:
Ef a gaed arnom ormod gwall,
heb ddeall dy fawr wŷrthiau.
7 Yngwlâd yr Aipht, wrth y mor coch,
yn gyndyn groch anufudd:
Heb gofio amled fu dy ras,
haeddasom atgas gerydd.

8 Etto, er mwyn ei enw ei hun,
Duw Cun a ddaeth i'n gwared:
I beri i'r byd gydnabod hyn,
ei fod ef cyn gadarned.
9 Y dyfnfor coch, a'i ddyfrllyd wlych,
a wnaeth e'n sych â'i gerydd:
Trwy ddyfnder eigion aent ar frys,
fel myn'd 'rhŷd ystlys mynydd.

10 Fel hyn y dug hwynt trwodd draw
o ddwylaw eu caseion:
Ac y tywysodd ef ei blant
o feddiant eu gelynion.
11 Y deifr a guddiodd yr Aipht ryw;
nid oedd un byw heb foddi:
12 Yna y credent i'w air ef,
a'i gerdd hyd nef ae'n wisgi.

13 Er hyn, dros gof, mewn amser byr,
y rhoent ei bybyr wŷrthiau:
Heb sefyll wrth air un Duw Ior,
na'i gyngor, na'i ammodau.
14 Ond cododd arnynt chwant a blys
yn nyrys yr anialwch:
Gan demtio Duw â rheibus fol
ynghanol y diffaethwch.

15 Rhoes iddynt lenwi eu holl flys;
rhoes annhycciannus aflwydd:
16 Lle digient Moses wrth eu chwant,
ac Aron, sant yr Arglwydd.
17 Egorai 'r ddaear yn y man,
a llyngcai Ddathan ddybryd:
Ac a gynhullodd i'r un llam
holl lu Abiram hefyd.

18 Ac yn ei ddig ennynodd tân
yn fuan yn eu canol :
Llosgi y rhain, eu terfyn fu,
yn ulw, y llu annuwiol.
19 Yn Horeb gwnaethant dawdd-lun llo,
ac iddo ymgrymmasant :
20 I lun llo, a borai wellt mân,
y troisan' eu gogoniant.

21 Anghofient wyrthiau Duw ar hynt,
(a f'asai gynt Achubwr
22 Yngwlâd yr Aipht, mor coch, tir Ham)
heb feddwl am eu cyflwr.
23 D'wedodd mai eu difetha 'wnai,
oni bai i'w was Moesen,
Trwy sefyll o'i flaen i'w lid maith,
droi ymaith eu drwg ddiben.

24 Dirmygent hwy y prydferth dir,
ac i'w air gwir ni chredent :
25 Ond yn eu pebyll grwgnach tro,
ac arno ni wrandawent.
26 Yno dyrchafodd Duw ei law,
i'w cwympaw trwy'r anialwch :
27 'Rhŷd tiroedd, a phobloedd anghô,
i'w tanu mewn di'styrwch.

28 A Baal-peor aent ynghŷd,
ymgredu i gŷd ag efo :
Ebyrth y meirwon a fwytt'ent,
a Duw a roddent heibio.
29 Fal hyn digiasant f' Arglwydd Dduw
â chyfryw goeg ddych'mygion :
Yntau anfonodd bla 'n eu mysg ;
fal dyna derfysg greulon.

30 Yna cyfododd Phinehes,
mewn cyflawn wres i ddïal :
A phan roes hwn ei farn yn dda,
Duw ar y bla roes attal.
31 A chyfrifwyd y weithred hon
yn weithred gyfion ynddo,
O oes i oes (trwy air Duw Ion)
pan ddelai son am dano.

32 Ac wrth lan dwfr Meriba gynt,
yno cyffröynt gynnen :
Lle digient Dduw â'u crasder ffraeth ;
am hyn bu'n waeth i Foesen.
33 Wrth gythruddo yspryd y sant,
hwy a barasant hefyd
I'w enau draethu gair ar fai,
a'r na pherthynai 'i dd'wedyd.

34 Ni laddent chwaith bobloedd y wlad,
wrth archiad Duw y lluoedd :
35 Ond ymgymmysgu â hwynt yn gu,
a dysgu eu gweithredoedd.
36 Gwasanaethu eu duwiau gau,
y rhai fu faglau iddyn' :
37 Aberthu eu plant, yn fab, yn ferch,
o serch i'r cythraul eilun.

38 A thywalltasant wirion waed
dan draed gau-dduwiau Canan :
Y tir (wrth aberthu eu plant)
â gwaed llygrasant weithian.
39 Felly o'u gweithredoedd eu hun
yn un ymhalogasant :
Putteinio wrth eu cwrs a'u bryd,
ac felly cyd-lygrasant.

40 Wrthynt ennynodd Duw mewn dig,
am hyn, â ffyrnig gyffro :
Cas a ffiaidd felly yr aeth
ei etifeddiaeth ganddo.
41 O'r achos hwn eu rhoddi a wnaeth
dan bob cenhedlaeth gyndyn,
Mewn cyflwr cas dan estron blaid,
a'u cas yn feistraid arnyn'.

42 Eu gelynion aethant yn ffrom,
a'u llaw fu drom a ffyrnig :
Felly y darostyngwyd hwy,
a mwyfwy fu eu dirmyg.
43 Mynych-waredodd Duw ei blant,
hwy a'i digiasant yntau
A'u cwrs eu hun : daeth cystudd hir
am waith eu henwir feiau.

44 Pan welai arnyn' ing na thrais,
fo glywai lais eu gweddi :
45 Gan gofio'i air, rhoi nawdd a wnaeth,
o'i helaeth fawr ddaioni.
46 A throi yn drugarog a wnaeth
y gwŷr yn gaeth a'u cludynt :
Y rhai y b'asai 'n fawr eu cas,
cael mwy cymmwynas ganddynt.

47 Achub ninnau o blith y rhain,
i arwain d'enw hyglod :
O Arglwydd Dduw, cymmell ni'n gu
i orfoleddu ynod.
48 Duw Israël bendigaid fydd,
yn dragywydd Jehofa :
A d'weded yr holl bobl, Amen ;
molwch Dduw llên Goruchaf.

## PSALM CVII.

MOLWCH yr Arglwydd, can's da yw ;
moliennwch Dduw ein Llywydd :
Oblegid ei drugaredd fry
a bery yn dragywydd.
2 Y gwaredigion canent fawl
i Dduw, gerdd nodawl gysson :
Y sawl' achubwyd, caned hyn,
o law y gelyn creulon.

3 A gasglodd o bedwar-ban byd,
dowch chwi i gŷd ganeuon :
O dir y dwyrain dowch mewn hedd,
gorllewin, gogledd, deau.
4 Trwy yr anialwch, wyrdraws hynt,
y b'asent gynt yn crwydro
Allan o'r ffordd : heb dref na llan,
lle caent hwy fan i drigo.

5 Trwy newyn, syched, bu'r daith hon,
a'u calon ar lewygu :
6 Ar Dduw y galwent y pryd hyn,
pan oeddyn' ymron trengu.
Yna eu gwared hwynt a wnaeth
o'u holl orthrymgaeth foddion :
7 'Rhŷd yr iawn ffordd fe'u dug mewn hedd
i dref gyfannedd dirion.

8 Addefant hwythau ger ei fron
ei fwynion drugareddau :
Ac er plant dynion fel y gwnaeth
yn helaeth ryfeddodau.
9 Ddiwallu honaw einioes dŷn
rhag newyn, a rhag syched :
Ac o'i fawr ras eu cadw i gŷd,
pan oedd y byd yn galed ;

10 Y rhai mewn tywyllwch a drig,
ynghysgod ffewyg angau,
Yn rhwym mewn nychdod, ac mewn bâr,
a heiyrn ar eu sodlau.
11 A hyn o herwydd iddynt fod
mewn anufudd-dod eithaf,
A llwyr ddirmygu gair Duw Ior,
a chyngor y Goruchaf.

12 A thrymder calon cwympwyd hwy ;
nid oedd neb mwy a'u cododd :
13 Ar Dduw mewn ing y rhoisan' lef ;
ac yntef a'u gwaredodd.
14 Ef a'u gwaredodd hwynt o'u drwg,
sef o dywyllwg caethglud :

O gysgod angau eu rhyddhâu,
a thorri' rhwymau hefyd.

15 Addefant hwythau ger ei fron
ei fwynion drugareddau:
Ac i blant dynion fel y gwnaeth
yn helaeth ryfeddodau.
16 Can's y pyrth pres torrodd yn chwŷrn,
a'r barrau heiyrn hefyd:
17 Am eu bai a'u camwedd, yn wir,
y poenir y rhai ynfyd.

18 A hwynt yn 'laru ar bob bwyd,
fe'u dygwyd at byrth angau.
19 Ar Dduw mewn ing y rhoisant lef;
achubodd ef hwynt hwythau:
20 Gan yrru ei air i'w hiachâu,
ac i'w rhyddhâu yn fuan:
A hwynt â'i air tynnu a wnaeth
o'u methedigaeth allan.

21 Addefant hwythau ger ei fron
ei fwynion drugareddau:
Ac i blant dynion fel y gwnaeth
yn helaeth ryfeddodau.
22 Aberthant hefyd aberth mawl
i'w ogoneddawl Fawredd:
A mynegant ei waith a'i wŷrth,
yn ei byrth, mewn gorfoledd.

23 Y rhai ant mewn llongau i'r don,
a'u taith uwch mawrion ddyfroedd,
24 A welsant ryfeddodau'r Ion,
a hyn mewn eigion moroedd.
25 A'i air cyffroe dymhestloedd gwŷnt,
y rhain a godynt donnau
26 Hyd awyr fry, hyd eigion llawr,
ac ofn bob awr rhag angau.

27 Gan ysgwyd a phendroi, fel hyn,
dull meddwŷn, synnai arnynt:
28 Ar Dduw mewn ing y rhoisant lef;
daeth ef â chymmorth iddynt.
29 Gwnaeth ê'r ystorm yn dawel dêg,
a'r tonnau 'n osteg gwastad:
30 Yn llawen ddistaw doen' i'r lan,
i'r man y bai 'dymuniad.

31 Cyffesent hwythau ger ei fron
ei fwynion drugareddau:
Ac i blant dynion fel y gwnaeth
yn helaeth ryfeddodau.
32 Holl gynnulleidfa ei bobl ef
clod Duw hyd nef dyrchafant:
Holl eisteddf'ydd pennaethiaid hen
yn llawen a'i moliannant.

33 Y ffrydau'n ddyrys dir a wnai;
fe sychai ddwfr lle tarddo:
34 A thir ffrwythlawn a wnai'n ddi-ffrwyth,
lle trig drwg dylwyth ynddo.
35 Troes yr anialwch yn llyn glas,
a'r tir cras yn ffynhonnydd:
36 Lle gwnai ef drigfan i'r gwael ddyn,
i dorri 'newyn beunydd.

37 Lle yr hauasant faesydd glân,
a llawer gwinllan dyner;
Y rhai a roddant lawnder ffrwyth,
a chnydlwyth, yn ei amser.
38 Can's cynnyddasant hwy gan wlith
grasol fendith un Duw Cun:
A'u hanifeiliaid, hysp a blith,
rhoes yn un fendith arnyn'.

39 Daeth caethder gwedi hyn i gŷd,
a drygfyd, er eu gostwng:
Gadawodd eu gorthrymmu a'u plau,
cawsant flinderau teilwng.
40 Eu dirmyg ar y beilchion troes,
ac ef a'u rhoes i grwydro
Mewn d'rysni, heb lun ffordd i'w chael,
lle buant wael eu gortho.

41 Yna rhoes y tlawd i well fri;
dug o'r trueni allan:
Gan lwyddo 'i deulu, a'i holl blaid,
fel defaid wrth y gorlan.
42 Y rhai cyfiawn a welant hyn,
a chanddyn' bydd yn hyfryd:
A'r enwir ceuir ei ddwy ên
ar ei gynfigen fawlyd.

43 Pa rai sy ddoeth i ddeall hyn,
fe roddir iddyn' wybod
Faint yw daioni f' Arglwydd yn':
wrth hyn y can' gydnabod.

## PSALM CVIII.

PAROD yw fy nghalon (O Dduw)
O parod yw fy nghalon:
Canaf it', a datganaf wawd
o fawl fy nhafawd ffyddlon.
2 Deffro dafod, a deffro dant,
a chân ogoniant beunydd:
Y nabl a'r delyn yn gyttûn;
deffrôf fy hun ar las-ddydd.

3 Mawl iti, f' Arglwydd, pan ddeffrôf,
a rof ym mysg y bobloedd:
A chlodfori dy enw a wnaf
lle amlaf y cenhedloedd.
4 Can's cyrhaeddyd y mae dy ras
hyd yn nheyrnas y nefoedd:
A'th wirionedd di hyd at len
yr wybren, a'i therfynoedd.

5 Ymddyrcha, Dduw, y nef uwchlaw,
oddiyno daw d'arwyddion:
A bydded dy ogoniant ar
y ddaear a'i thrigolion.
6 Fal y gwareder, trwy hon hwyl,
bob rhai o'th anwyl ddynion:
O achub hwynt â'th law ddehau,
a gwrando finnau'n ffyddlon.

7 Yn ei sancteiddrwydd d'wedodd Duw,
Llawen yw fy nghyfammod:
Mi rannaf Sichem 'rhŷd y glyn;
mesuraf ddyffryn Succod.
8 Myfi biau y ddwy dreftâd,
sef Gilead a Manasse:
Ac Ephraïm yw nerth fy mhen,
a Juda wen f' anneddle.

9 Ym Moab ymolchi a wnaf;
dros Edom taflaf f' esgid:
A chwardded Palestina gaeth;
ei chwerthin aeth yn rhybrid.
10 Duw, pwy a'm dwg i'r ddinas gref?
pwy a'm dwg i dref Edom?
11 Er it' ein gwrthod, pwy ond ti,
O Dduw, a 'mleddi drosom?

12 O unig Dduw, bydd in' yn borth;
mae 'n ofer cymmorth undyn:
13 Yn Nuw y gwnawn wrolaeth fawr;
fe sathr i lawr ein gelyn.

## PSALM CIX.

O Dduw, fy moliant i na thau:
2 Can's genau'r annuwiolion,
A'u tafod twyllgar, a'u safn rhwth,
arnaf sy'n bygwth digon.
3 Daethant i'm cylch â geiriau cas;
rhoent ddiflas sen anynad:
4 Fal hyn ym' talent ddrwg dros dda;
5 A chas a ga' am gariad.

Ac fel yr oeddynt hwy fal hyn
  i'm herbyn wedi codi,
Fy wyneb attad ti a drois,
  ac arnat rhois fy ngweddi.
6 Bid Satan ar ei ddehau-law,
  i'r swydd y daw yn barod:
7 A phan roer barn, yn euog boed,
  a'i weddi troed yn bechod.

8 Bo 'i oes yn fer, ac yn ddilwydd,
  a'i swydd arall i'w chym'ryd:
9 Poed yn amddifaid y bo 'i blant,
  a'i weddw yn fethiant hefyd.
10 A boed ei blant yn crwydro byd,
  i gym'ryd mân gardodau:
A cheisiant hyn 'rhŷd dyrys dir,
  lle byddo hir eu prydiau.

11 Yn rhwyd y ceisiad ei ddâ syrth,
  a'i lafur pyrth ddïeithriaid:
12 Na ddêl iddo nawdd am ei fai,
  na chwaith i'w rai amddifaid.
13 Doed distryw dial ar ei hil,
  a'i eppil a ddileer:
14 Am bechodau ei dad a'i fam,
  y caiff ei lam ryw amser.

15 A bydded hyn i gŷd ger bron
  yr Arglwydd gyfion farnwr,
Yr hwn a'i torro, fel na bo
  mwy gofio ei anghyflwr.
16 Erioed ni cheisiodd wneuthur hedd,
  na thrugaredd i ddyn gwan:
Ond erlid tlawd a'r isel radd,
  a cheisio lladd y truan.

17 Hoffodd felldith, a hi a ddaeth;
  ac fel y gwnaeth, bid iddo:
Casaodd fendith, ac ni chai,
  ond pell yr ai oddiwrtho.
18 Gwisgodd felldith fel dillad gŵr,
  a daw fel dw'r i'w galon:
Fel olew doed i'w esgyrn fo,
  hyd oni chaffo ddigon.

19 A'r felldith bid i'w gylch yn dynn,
  fel yn ddilledyn iddo:
A'i gwisgo hi bid iddo'n dasg,
  fel gwregys gwasg am dano.
20 A hyn gan Dduw a gaf yn dâl,
  i'r gelyn gwammal enbyd,
A dd'wetto neu a wnelo gam,
  neu niweid am fy mywyd.

21 Dithau, Dduw, er mwyn d'enw, gwna;
  herwydd mai da d'ymwared:
Gwna dy drugaredd â myfi,
  a brysia di i'm gwared.
22 O herwydd tlawd a rheidus wyf,
  a dirfawr glwyf i'm calon:
23 Symmudiad cysgod a fai'n ffo,
  hyn er na welo dynion.

Mor ansefydlog yw fy 'stad
  a'r mudiad geiliog rhedyn:
24 Fy nghnawd yn gul, fy ngliniau'n wan
  a siglan', o dra newyn.
25 Gwarth wyf i'm cas yn fy ngwael ddrych;
  a hwynt, wrth edrych arnaf,
A'm diystyrent, dan droi tro,
  a than bensiglo attaf.

26 Cymmorth di fi, Arglwydd fy Nuw;
  cadw fi'n fyw â'th nodded:
27 Fel y gwyper mai gwaith dy law
  yw'r lles a ddaw i'm gwared.
28 Melldithiant, nac eiriachant hwy;
  dod fendith fwy i minnau:
Bid gwarth i'm gwrthwynebwyr cas,
  gorfoledd i'th was dithau.

29 A gwarth a gw'radwydd gwisger hwy,
  ac fwyfwy y dêl attynt:
A mantell laes, o g'wilydd mawr,
  gwisg di hyd lawr am danynt.
30 Ond fi, gan ddiolch i'm Iôr mau,
  â'm genau mawl a ganaf:
Ac a rof glod i'w enw eu,
  lle bytho'r llu yn amlaf.

31 O herwydd ar ddehenlaw'r tlawd
  y saif ddydd brawd yn gefnog.
I gadw ei enaid ef yn gu,
  rhag ei farnu yn euog.

## PSALM CX.

D'Wedai'r Arglwydd wrth f' Arglwydd mau,
  Ar fy llaw ddehau eistedd,
Nes rhoddi 'r rhai a gais dy waed,
  yn faingc draed it', i orwedd.
2 'R Arglwydd denfyn ffrewyll dy nerth
  o ddinas fawrwerth Seion:
Pan lywodraethech yn eu mysg,
  gwna derfysg ar d' elynion.

3 Yn nydd dy nerth dy bobl a ddaw
  ag aberth llaw'n 'wyllysgar:
Yn sanctaidd hardd daw 'r cynnyrch tau
  o wlith y borau hawddgar.
4 Yr Arglwydd tyngodd, ac ni wad,
  Ti sy'n Offeiriad bythol,
Wrth urdd Melchisedec odd' fry,
  a bery yn drag'wyddol.

5 Yr Arglwydd ar dy ddehau law
  brenhinoedd draw a friwa:
Yn nydd ei ddig gwna'n archollion
  frenhinoedd cryfion, medda'.
6 Ar y cenhedloedd rhydd farn iawn,
  a'u gwlad gwna'n llawn celanedd:
A llawer pen, dros wledydd mawr,
  a dyr i lawr yn unwedd.

7 O wir frys i'r gyflafan hon,
  fe ŷf o'r afon nesa'
A gaffo ar ei ffordd yn rhwydd;
  a'r Arglwydd a'i dyrchafa.

## PSALM CXI.

CLODFORAF fi fy Arglwydd Ion,
  o 'wyllys calon hollol,
Mewn cynnulleidfa ger eu bron,
  mewn tyrfa gyfion rasol.
2 Mawr iawn yw gwŷrthiau'n Harglwydd ni,
  hyspys i bawb a'i hoffant:
3 Ei waith a'i iawnder pery byth,
  a'i wehelyth ogoniant.

4 Yr Arglwydd a wnaeth ei goffâu,
  am ryfeddodau nerthol:
Can's Arglwydd noddfawr yw i ni,
  llawn o dosturi grasol.
5 Ef i bob rhai a'i hofnant ef
  rhydd gyfran gref at fywyd:
Ac yn dragywydd y myn fod
  cof o'i gyfammod hefyd.

6 Mynegodd ef i'w bobl i gŷd
  gadernyd ei weithredoedd:
A rhoddi iddynt hwy a wnaeth
  'tifeddiaeth y cenhedloedd.
7 Gwirionedd a barn ydyw gwaith
  ei ddwy law berffaith efo:
A'i orch'mynion sy ffyddlon iawn;
  a da y gwnawn eu gwrando.

8 Y rhai'n sy gwedi eu sicrhâu
  dros byth yn ddeddfau cyfion:
Gwedi eu gwneuthur hwy mewn hedd,
  a thrwy wirionedd union.

9 Anfonodd gymmorth i'w bobl ef,
cyfammod gref safadwy:
Archodd hyn; bo i'w enw fawl,
sancteiddiawl ac ofnadwy.

10 Dechreuad pob doethineb ddofn
i bawb, yw ofn yr Arglwydd:
Da yw deall y sawl a'i gwnai,
a'i ofn a fai'n dragywydd.

## PSALM CXII.

DEDWYDDOL yw, mewn buchedd dda,
y sawl a ofna 'r Arglwydd:
A'i orchymynion anwyl ŷnt;
bydd iddo helynt hylwydd.
2 Ei had fydd nerthol yn y tir;
bendithir hil rhai union:
3 Golud a chyfoeth yn ei dŷ,
dros byth, y pery'n gyfion.

4 Yr union, yn y tywyll cau,
caiff fodd i olau weled:
Ystyriol, a thosturiol iawn,
a chyfiawn, fydd ei weithred.
5 Gŵr da a fydd trugarog fwyn;
rhydd echwyn a chymmwynas:
A'i air mewn pwyll a barn a rydd,
a'i weithred fydd yn addas.

6 Ni 'sgogir byth y cyfiawn; gwna
ei goffa yn dragywydd:
7 A chalon ddisigl, ddwys, ddïofn,
a sail ddofn yn yr Arglwydd.
8 Hwn yn nerth Duw dïofnog fydd,
ac atteg sydd i'w galon:
Hyd oni chaffo, trwy lawn wŷs,
ei 'wyllys o'i elynion.

9 Rhannodd a rhoes i'r tlawd yn hŷ;
byth pery ei gyfiawnedd:
A chryfder ei goron, yn wir,
dyrchefir mewn gogonedd.
10 Yr anwir edrych; ffromma o ddig,
trwy ffyrnig ysgyrnygiad:
Yr annuwiol a dawdd; fal hyn
fydd terfyn eu dymuniad.

## PSALM CXIII.

CHWI weision Duw, molwch yr Ion,
Molwch ei enw â llafar dôn:
2 Bendigaid fyddo ei enw ef.
3 O godiad haul hyd fachlud dydd
Mawr enw yr Ion moliannus fydd,
yn y byd hwn, ac yn y nef.

4 Dyrchafodd Duw uwch yr holl fyd,
A'i foliant aeth uwch nef i gŷd.
5 Pwy sy gyffelyb i'n Duw ni?
Yr hwn a breswyl yn y nef,
6 I'r ddaear hon darostwng ef,
gwel ef ein cam, clyw ef ein cri.

7 Yr hwn sy'n codi 'r tlawd o'r llwch,
A'r rheidus o'i ddïystyrwch,
8 I'w gosod uwch pennaethiaid byd.
9 I'r ammhlantadwy mae'n rhoi plant,
Hil teg, a thylwyth, a llwyddiant:
am hyn moliennwch Dduw i gŷd.

## PSALM CXIV.

PAN ddaeth Israel o'r Aipht faith,
A thŷ Iago o estron iaith,
2 Juda oedd ei sancteiddrwydd ef,
Israël oedd bennaethiaeth Ior.
3 Gwelodd hyn, a chiliodd y môr,
a throes i'w hol Iorddonen gref.

4 Neidiai 'r mynyddoedd megis hyrdd,
A'r bryniau fel ŵyn llamment ffyrdd;
cawsant wastad megis llawr dôl.
5 Ciliaist (O fôr) dywaid paham?
Tithau, Iorddonen fathreidd lam,
pa'm y dadredaist dithau'n d'ol?

6 Chwychwi fynyddoedd, pa'm y ffoech
Fel hyrddod? a pha'm nad arhoech,
a chwithau, fryniau, fel ŵyn mân?
7 Am mai rhaid ofni Duw Iago,
8 Yr hwn sy'n troi 'r graig yn llyn tro,
a'r callestr yn ffynnon ddwfr glân.

## PSALM CXV.

NID i ni, Arglwydd, nid i ni,
y dodi y gogonedd:
Ond i'th enw dy hun yn hawdd,
er mwyn dy nawdd a'th wiredd.
2 Pa'm y d'wedant a'm danat ti
y cenhedlaethi estron:
A thrwy edliw hynny yn fwy,
P'le mae eu Duw hwy 'r awrhon?

3 Sef ein Duw ni mae yn y nef,
lle y gwnaeth ef a fynnodd:
4 Eu delwau hwy, aur, arian, ŷn',
a dwylaw dŷn a'u lluniodd.
5 Safn heb draethu, llun llygaid glân
y rhai'n ni welan' ronyn:
6 Trwyn heb arogl, clustiau ar lled
heb glywed, y sydd ganddyn'.

7 Ac i bob delw y mae dwy law
heb deimlaw, traed heb symmud:
Mae mwnwgl iddynt heb roi llais;
fal dyna ddyfais ynfyd.
8 Fel hwynt-hwy ydyw 'r rhai a'u gwnant,
a'r rhai a gredant iddynt:
Am hyn ni ddylai neb trwy gred
roi mo'r ymddiried arnynt.

9 O Israël, dod ti yn rhwydd
ar yr Arglwydd dy holl-fryd:
Ef yw eu nerth a'u dwg i'r lan,
eu porth a'u tarian hefyd.
10 O tŷ Aron, dod dithau 'n rhwydd
ar yr Arglwydd dy holl-fryd:
Ef yw eu nerth a'u dwg i'r lan,
eu porth a'u tarian hefyd.

11 'Rhai a ofnwch yr Arglwydd Ion,
rhowch arno'ch union holl-fryd:
Efe yw'r neb a'ch dwg i'r lan,
eich porth a'ch tarian hefyd.
12 Duw Naf a'n cofiodd, ac i'n plith
fo roes ei fendith rhadlon:
I dŷ Israël rhydd ei hedd,
ac unwedd i dŷ Aron.

13 'Sawl a'i hofnant, bendithiant ef;
yr Arglwydd nef canmolan':
A'i enw sanct, o'r nef i'r llawr,
bendithied mawr a bychan.
14 Yr Arglwydd arnoch, arnoch chwi,
a wna ddaioni amlach:
Ac a chwanega ar eich plant
ei fwyniant yn rymmusach.

15 Y mae iwch' fendith, a mawr lwydd,
gan y gwir Arglwydd cyfiawn:
Yr hwn a wnaeth y nefoedd fry,
a'r ddaear obry 'n gyflawn.
16 Y nef, ïe 'r nefoedd uwchlaw,
sy yn eiddaw Duw yr Ion:
A'r ddaear, lle y preswyliant,
a roes ef i blant dynion.

17 Pwy a folant yr Arglwydd? pwy?
gwn nad hwynt-hwy y meirwon:
Na'r rhai a ant i'r bedd yn rhwydd,
lle 'mae distawrwydd ddigon.
18 Ond nyni, daliwn yn ein co'
fyth fyth fendithio'r Arglwydd:
Molwch yr Arglwydd, yn un wedd,
â mawl gyfanneddd ebrwydd.

## PSALM CXVI.

DA gennyf wrando'r Arglwydd nef
ar lais fy llef a'm gweddi:
2 Am iddo fy nghlywed i'n hawdd,
byth archaf ei nawdd imi.
3 Mae maglau angau i'm cynllwyn,
ym mron fy nwyn i'm beddrod:
4 Cefais ing; ond galwaf fy Ner,
i'm hoes moes dyner gymmod.

5 Cyfion yw'r Ion, trugarog iawn;
ein Duw sy lawn o nodded:
6 Duw a geidw'r gwirion; bûm i
mewn cyni, daeth i'm gwared.
7 O f' enaid, dadymchwel o'r llwch,
tyr'd i'th lonyddwch bellach:
Am i'r Arglwydd fod iti'n dda,
sef i'th orphwysfa hayach.

8 O herwydd i Dduw wared f' oes,
a'm cadw rhag gloes angau,
Fy nhraed rhag llithro i lam drwg,
a'm golwg i rhag dagrau;
9 Yn y ffydd hon, o flaen fy Nuw,
ym mysg gwŷr byw y rhodia':
10 Fel y credais, felly tystiais
i ar y testyn yma.

11 Yn fy ffrwst d'wedais i fel hyn;
Mae pob dŷn yn gelwyddog:
12 Ond, O Dduw, beth a wnaf i ti,
am dy ddaioni cefnog?
13 Mi a gymmeraf, gan roi mawl,
y phïawl iachawdwriaeth:
Ac a alwaf, er mwyn fy llwydd,
ar enw yr Arglwydd Bennaeth.

14 I'r Arglwydd talaf yn forau
fy addunedau ffyddlon:
Y pryd hwn, o flaen ei holl lu,
y modd y bu'n fy nghalon.
15 Marwolaeth ei saint gwerthfawr yw
yngolwg Duw; O cenfydd:
16 Dy was, dy was wyf, mewn dirmyg,
mab dy forwynig ufudd.

17 Dattodaist fy rhwymau yn rhŷdd;
fy offrwm fydd dy foliant:
Enw'r Arglwydd nid â o'm co';
i hwnnw bo gogoniant.
18 I'r Arglwydd bellach tala'n frau
fy addunedau cyfion:
19 Yng Nghaer-Salem, dy sanctaidd dŷ,
o flaen dy deulu ffyddlon.

## PSALM CXVII.

O Cenwch fawl i'r Arglwydd nef,
moliennwch ef, genhedloedd:
Molwch ei enw ef trwy'r byd,
chwithau i gŷd y bobloedd.
2 Am ei fod ini yn dda iawn,
yr Arglwydd llawn trugaredd:
A'i air ef fydd yn parhâu byth;
sef ei ddilŷth wirionedd.

## PSALM CXVIII.

MOLWCH yr Arglwydd; can's da yw
moliannu Duw y Llywydd:
O herwydd ei drugareddau
sydd yn parhâu'n dragywydd.
2 D'weded Israel, Da yw ef,
a'i nawdd o nef ni ddertydd:
3 D'weded tŷ Aron, mai da yw
trugaredd Duw'n dragywydd.

4 Y rhai a'i hofnant ef yn lân,
a ganan' yr un cywydd:
Rhon' i'w drugaredd yr un glod;
sef ei bod yn dragywydd.
5 I'm hing gelwais ar f' Arglwydd cu;
hawdd ganddo fu fy nghlywed:
Ef a'm gollyngodd i yn rhŷdd,
o'i lân dragywydd nodded.

6 Yr Arglwydd sydd im' gyd â mi;
nid rhaid im' ofni dynion:
7 Yr Arglwydd sydd ynghŷd â mi,
er cospi fy ngelynion.
8 Gwell yw gobeithio yn Nuw Cun,
nag mewn un dŷn o'r aplaf:
9 Gwell yw gobeithio yn yr Ion,
nâ'r tywysogion pennaf.

10 Doed y cenhedloedd arna' i gŷd,
a'u brŷd ar wneuthur artaith:
Ond, yn enw y gwir Arglwydd Naf,
myfi a'u torraf ymaith.
11 Daethant i'm cylch ogylch, i'm cau,
ac ar berwylau diffaith:
Ond, yn enw yr Arglwydd Naf,
myfi a'u torraf ymaith.

12 Daethant i'm cylch fel gwenyn mân,
fel diffodd tân mewn goddaith:
Yn enw yr Arglwydd, yr wyf fi
yn eu diffoddi ymaith.
13 Fy nghasddyn, gwthiaist atta'n gryf,
i geisio gennyf syrthio:
14 Duw a'm cadwodd, sef Ion fy ngrym,
fy iechyd ym', ac etto.

15 Am orfoledd Duw y bydd son
yn nhai rhai cyfion dwyfol:
Mai'r Arglwydd Dduw, â'i law ddehau,
a wnaeth y gwyrthiau nerthol.
16 Deheulaw'r Arglwydd, trwy ei nawdd,
ef a'i dyrchafawdd arnom:
A dehau law yr Arglwydd Ner
a wnaeth rymmusder drosom.

17 Nid marw, onid byw a wnaf;
mynegaf waith yr Arglwydd:
18 Hwn a'm cospodd, ond ni'm lladdodd;
yn hytrach lluddiodd aflwydd.
19 Agorwch im' byrth cyfiawnder;
o'u mewn Duw Ner a folaf:
20 Porth yr Arglwydd, fel dyma fo,
ant iddo'r rhai cyfiawnaf.

21 Minnau a'th folaf yn dy dŷ,
o herwydd yty 'nghlywed:
Yno y canaf nefol glod
it', am dy fod i'm gwared.
22 Y maen sy ben congl-faen i ni,
a ddarfu'r seiri 'wrthod:
23 O'r Arglwydd Dduw y tyfodd hyn,
sy gan ddyn yn rhyfeddod.

24 Yr Arglwydd a'i gwnaeth, dyma'r dydd,
er mawr lawenydd yny:
Ynddo cym'rwn orfoledd llawn,
ymlawenhawn am hynny.
25 Attolwg, Arglwydd, y pryd hyn
yr ŷm yn erlyn seibiant:
Attolwg, Arglwydd Dduw, par yn'
y pryd hyn gaffael llwyddiant.

26 Bendigaid yw y sawl a ddêl
yn enw yr uchel Arglwydd :
O dŷ Dduw bendithiasom chwi,
trwy weddi a sancteiddrwydd.
27 Yr Arglwydd sydd yn Dduw i mi ;
rhoes in' oleuni ragor :
Deliwch yr oen, a rhowch yn chwŷrn
yn rhwym wrth gyrn yr allor.

28 Tydi, O Dduw, wyt Dduw i mi ;
am hyn tydi a folaf :
(Da gwedd it' fawl, fy Nuw mau fi)
a thydi a ddyrchafaf.
29 Molwch yr Arglwydd ; can's da yw
moliannu Duw y Llywydd :
O herwydd ei drugaredd fry
a bery yn dragywydd.

## PSALM CXIX.

### ALEPH. Rhan 1.

POB cyfryw ddyn y sydd â'i daith
yn berffaith, mae fe'n ddedwydd :
Y rhai 'n fucheddol a rodian'
ynghyfraith lân yr Arglwydd.
2 Y rhai i gŷd gwyn fyd a gânt,
a gadwant ei orch'mynion :
Ac a'u ceisiant hwy yn ddilŷs
â holl ewyllys calon.

3 Diau ymad â y rhai hyn
i ganlyn llwybrau gwammal :
4 Ond cadw dy air (a erchaist yn')
a dilyn hyn yn ddyfal.
5 Och fi, na chawn unioni 'n glau
fy llwybrau at dy ddeddfod :
6 Byth ni'm gw'radwyddid y modd hwn,
tra cadwn dy gyfammod.

7 Mi a'th glodforaf di er neb,
ac mewn uniondeb calon :
Pan ddysgwyf adnabod dy farn,
sy gadarn, ac sy gyfion.
8 Am dy farn mae fy holl amcan ;
dy ddeddfau glân a gadwaf :
Na âd fyth fyth fi yn fy nŷch ;
O tro, i edrych arnaf.

### BETH. Rhan 2.

9 Pa fodd (O Dduw) y ceidw llangc,
sydd ieuangc, ei holl lwybrau ?
Wrth ymgadw, yn ol dy air,
pob llwybr a gair yn olau.
10 Dy orch'mynion â'm holl galon,
a'u dirgelwch, ceisiais oll :
O lluddias fi, ar ofer hynt,
oddiwrthynt ar gyfyrgoll.

11 I'm calon cuddiais dy air cu,
rhag imi bechu 'n d'erbyn :
12 O Arglwydd, bendigaid wyt ti ;
O dysg i mi d'orchymyn.
13 Dy gyfiawn feirn, a'r gwir air tau,
â mawl gwefusau traethais :
14 A'th dystiolaethau di i gŷd
uwch holl ddâ'r byd a hoffais.

15 Dy ddeddf fy myfyr yw, a'm drych ;
dy ffyrdd 'rwy'n edrych arnyn' :
16 Mor ddigrif imi yw dy air,
o'm cof ni's cair un gronyn.

### GIMEL. Rhan 3.

17 Bydd dda i'th was, a byw a wna,
a'th air a gadwa'n berffaith :
18 A'm llygaid egor di ar led,
i weled rhin dy gyfraith.

19 Dïeithr ydwyf fi yn y tir,
dy ddeddf wir na chudd rhagof :
20 O wir awydd i'r gyfraith hon,
mae'n don fy enaid ynof.

21 Curaist feilch ; daw dy felldith di
i'r rhai sy'n torri d' eirchion :
22 Tro oddiwrthyf fi fefl ar gais ;
can's cedwais dy orch'mynion.
23 Er i swyddogion roi barn gas,
rhoes dy was ei fyfyrdod
24 Yn dy ddeddf : hon sydd im' i gŷd
yn gyngor hyfryd ynod.

### DALETH. Rhan 4.

25 F' enaid ym mron llwch y bedd yw ;
o'th air gwna fi'n fyw eilwaith :
26 Mynegais fy ffyrdd, clywaist fi ;
o dysg i mi dy gyfraith.
27 Par i mi ddeall ffordd dy air ;
ar hwnnw cair fy myfyr :
28 Gan ofid, f' enaid tu ar dawdd ;
â'th air gwnai 'n hawdd fi'n bybyr.

29 O'th nawdd, oddiwrthyf tyn ffyrdd gau,
a dysg im' ddeddfau crefydd :
30 Dewisais ffordd gwirionedd ; hon
sydd ger fy mron i beunydd.
31 Glynais wrth dy air, O Arglwydd ;
O lludd im' w'radwydd digllon :
32 Yn dy ddeddfau fy rhodiad fydd,
pan wne'ych yn rhydd fy nghalon.

### HE. Rhan 5.

33 Duw, fordd dy ddeddfau dysg i mi ;
dros f' einioes hi a gadwaf :
34 O par im' ddeall y ddeddf hon ;
o'm calon mi a'i cyflawnaf.
35 Par im' fyn'd lwybr dy ddeddf ar frys ;
hyn yw fy 'wyllys deilwng :
36 A'm calon at dystiolaeth dda,
nid at gybydd-dra, gostwng.

37 Tro fi rhag gweled gwagedd gwael ;
bywhâ fi 'gael dy ffordd di :
38 Cyflawna d' air â mi dy was ;
yna caf ras i'th ofni.
39 Ofnais warth ; O tro heibio hon ;
da yw d'orch'mynion tyner :
40 Wele, f' awŷdd i'th gyfraith yw ;
gwna im' fyw, o'th gyfiawnder.

### FAU. Rhan 6.

41 Arglwydd, dod dy drugaredd ym',
a hyn o rym d' addewid :
42 Trwy gredu'n d'air, rhof atteb crwn
i'm cablwr hwn a'm dilid.
43 O'm genau na ddwg dy air gwir ;
i'th farnau hir yw 'ngobaith :
44 Minnau'n wastadol cadwaf byth
dy lân wehelyth gyfraith.

45 Mewn rhyddid mawr rhodio a wnaf,
a cheisiaf dy orch'mynion :
46 A'th dystiolaethau rhof ar g'oedd
o flaen brenhinoedd cryfion.
47 Heb w'radwydd, llawen iawn ym' cair
yn d'air, yr hwn a hoffais :
48 Codaf fy nwylaw at dy ddeddf,
trwy fyfyr, greddf a gerais.

### ZAIN. Rhan 7.

49 Cofia i'th was dy air a'th raith,
lle rhois fy ngobaith arno :
50 Yn d'air mae 'nghysur, Ior, i gŷd ;
yr hwn mae 'mywyd ynddo.

51 Er gwatwar beilch, ni throis ychwaith
oddiwrth dy gyfraith hoyw-bur:
52 Cofiais (O Dduw) dy ddeddf erioed;
yn honno rhoed im' gysur.

53 Y trawsion a ofnais yn faith,
sy'n torri'r gyfraith eiddod:
54 O'th ddeddf y cenais gerdd yn hŷ
yn nhŷ fy mhererindod.
55 Cofiais dy enw (fy Iôn) bob nos,
o serch i'th ddiddos gyfraith:
56 Cefais hynny, am gadw o'm bron
dy ddeddf; sef hon sydd berffaith.

CHETH. Rhan 8.

57 Ti, Arglwydd, wyt i mi yn rhan;
ar d' air mae f' amcan innau:
58 Gweddïais am nawdd ger dy fron,
o'm calon, yn ol d'eiriau.
59 Meddyliais am ffyrdd dy ddeddfau,
a throis fy nghamrau attynt:
60 Dy eirchion ar frys a gedwais;
nid oedais ddim o honynt.

61 Er i draws dorf fy 'speilio i,
dy gyfraith ni anghofiais;
62 Gan godi ganol nos yn frau,
dy farnau a gyffesais.
63 Cyfaill wyf i'r rhai a'th ofnant,
ac a gadwant dy eiriau:
64 Dy nawdd trwy'r tir sy lawn i'n mysg;
Duw, dysg i mi dy ddeddfau.

TETH. Rhan 9.

65 Arglwydd, gwnaethost yn dda â'th was,
yn ol dy ras yn addo:
66 Dysg im' ddeall dy air yn iawn,
'rwy'n credu'n gyflawn ynddo.
67 Cyn fy ngostwng, aethum ar gam;
yn awr wyf ddinam eilwaith:
68 Da iawn a graslawn ydwyt ti;
O dysg i mi dy gyfraith!

69 Dy air, er beilch yn clytio ffug,
â'm calon orug cadwaf:
70 Breision ŷnt hwy; er hyn myfi
dy gyfraith di a hoffaf.
71 Fy mlinder maith da iawn im' fu
i ddysgu dy 'statudoedd:
72 Gwell fu im' gyfraith d'enau glân,
nag aur ac arian filoedd.

JOD. Rhan 10.

73 A'th ddwylaw gwnaethost fi dy hun,
a rhoist im' lun yn berffaith:
O par im' ddeall dy air di,
a dysgaf fi dy gyfraith.
74 Y sawl a'th ofnant, gwelant hyn:
bydd llawen ganddyn' weled:
Am fod fy ngobaith yn dy air,
yr hwn a gair ei glywed.

75 Duw, gwn fod dy farnau 'n deilwng,
a'm gostwng i yn ffydd'on:
76 Dod nawdd, er cysur im' dy was,
o'th ras a'th addewidion.
77 Dod im' dy nawdd, a byddaf byw:
dy gyfraith yw yn felys:
78 Gw'radwydder beilch a'm plyg ar gam;
myfyriaf am d'ewyllys.

79 Y rhai, O Dduw, a'th ofnant di,
troer y rheini attaf:
A'r rhai 'adwaenant, er eu maeth,
dystiolaeth y Goruchaf.

80 Bydded fy nghalon yn berffaith
yn dy lân gyfraith, Arglwydd:
Fel na's gorchuddier yn y byd
fy wyneb-pryd â gw'radwydd.

CAPH. Rhan 11.

81 Gan ddisgwyl am dy iechyd di,
mae f' enaid i mewn diffyg:
Yn gwylied beunydd wrth dy air,
O Arglwydd cair fi'n ddiddig.
82 Y mae fy llygaid, mewn pall ddrych,
yn edrych am d'addewid:
Pa bryd (O Arglwydd, d'wedais i)
y'm diddeni â'th iechyd?

83 Can's wyf fel costrel mewn mwg cau;
cofiais dy eiriau cyfion:
84 Pa hŷd yw amser dy was di?
pa bryd y berni 'r trawsion?
85 Cloddiai 'r beilchion im' byllau; hyn
sy'n erbyn dy gyfreithiau:
86 Gwirionedd yw d'orch'mynion di;
cymmorth fi rhag cam faglau.

87 Braidd na'm difent o'r tir ar gais;
ond glynais wrth d'orch'mynion:
88 Bywhâ fi, Dduw, i gadw'n glau
dystiolaeth d'enau ffyddlon.

LAMED. Rhan 12.

89 Byth yn y nef y pery d'air,
90 O Dduw. Cair dy wirionedd
O oes i oes: sicrhe'ist y tir,
na siglir mo'i amgylchedd.
91 Safant byth wrth dy farnau di;
maent iti'n weision ufudd:
92 Oni bai fod dy ddeddf yn dda,
i'm difa b'asai gystudd.

93 A'th orch'mynion y bywhe'ist fi;
am hyn y rheini a gofiais:
94 Eiddot ti wyf, Duw, achub fi;
dy ddeddfau di a geisiais.
95 Disgwyl fy lladd mae'r anwir sur,
'rwy'n ystyr dy dystiolaeth:
96 Ar bob perffeithrwydd mae terfyn,
ond ar d'orchymyn helaeth.

MEM. Rhan 13.

97 Mor gu (O Arglwydd) gennyf fi
dy ddeddf di a'th gyfammod!
Ac ar y rhain, o ddydd i ddydd,
y bydd fy holl fyfyrdod.
98 Gwnaethost fi, â'th orch'mynion iach,
yn ddoethach nâ'm gelynion:
Can's gyd â mi yn dragywydd
y bydd dy holl orch'mynion.

99 Gwnaethost fi'n ddoethach (O Dduw Ion)
nâ'r athrawon a'm dysgynt:
Oblegid fy myfyrdod mau
dy dystiolaethau oeddynt.
100 Am gadw o honof dy ddeddf di,
mwy nâ'm rhïeni de'lldais:
101 Rhag dryglwybr, fel y cadwn d'air,
fy nhraed yn ddiwair cedwais.

102 Rhag dy farnau ni chiliais i;
can's ti a'm dysgaist ynddynt:
103 Mor beraidd gennyf d'eiriau iach!
nâ'r mel melysach ydynt.
104 O Arglwydd, â'th orch'mynion di
y gwnaethost fi yn bwyllawg:
Am hynny 'r ydwyf yn casâu
pob cyfryw lwybrau geuawg.

### NUN. Rhan 14.

105 Dy air i'm traed i llusern yw,
a llewyrch gwiw i'm llwybrau :
106 Tyngais, a chyflawni a wnaf,
y cadwaf dy lân ddeddfau.
107 Cystuddiwyd fi 'n awr, Arglwydd da;
bywhâ fi 'n ol d' addewid :
108 Boddloner di, O Arglwydd mau,
ag offrwm genau diwyd ;

A dysg im' dy holl farnau draw.
109 F' enaid sy 'm llaw'n wastadol :
Am hynny nid anghofiais chwaith
dy lân gyfraith sancteiddiol.
110 Yr annuwiolion i'r ffordd fau
rhoddasant faglau geirwon :
Ni chyfeiliornais I, er hyn,
ond dilyn dy orch'mynion.

111 Cym'rais yn etifeddiaeth lân
byth weithian dy orch'mynion :
O herwydd mai hwynt-hwy y sydd
lawenydd mawr i'm calon.
112 Gostyngais i fy nghalon bur,
i wneuthur, trwy offoledd,
Dy ddeddfau di tra f' wy 'n y byd,
a hynny hyd y diwedd.

### SAMECH. Rhan 15

113 Dych'mygion ofer case'is i,
a'th gyfraith di a hoffais:
114 Lloches a tharian im' y'th gair;
wrth dy air y disgwyliais.
115 Ciliwch, rai drwg, oddiwrthyf fi;
fy Nuw cadwaf ei gyfraith :
116 Cynnal fi â'th air, a byw a wnaf;
ni wridaf am fy ngobaith.

117 O cynnal fi, fy Arglwydd Naf,
a byddaf iach drag'wyddol :
Ac yn dy ddeddfau iach y bydd
fy llawenydd gwastadol.
118 Sathraist, O Arglwydd, yr holl rai
a ai oddiwrth dy ddeddfau :
Am mai oferedd ger dy fron
oedd eu dych'mygion hwythau.

119 Difethaist holl rai drwg y tir,
fel y difethir sothach :
Am hyn dy dystiolaethau di
a gerais i 'n anwylach.
120 O Arglwydd Dduw, rhag ofn dy ddig,
fy nghnawd a'm cig a synnodd :
Rhag dy farnedigaethau di
fy yspryd i a ofnodd.

### AIN. Rhan. 16.

121 Barn a thrugaredd a wneuthym ;
na ddod fi y'm caseion :
122 O Arglwydd, dysg ddaioni i'th was ;
achub rhag cas y beilchion.
123 Pallai 'ngolwg, yn disgwyl llawn
iechyd o'th gyfiawn eiriau :
124 Yn ol trugaredd â'th was gwna,
dysg imi 'n dda dy ddeddfau.

125 Dy was wyf fi, deall im' dod
i wybod dy ammodau :
126 Madws it' (Arglwydd) roddi barn ;
torrwyd dy gadarn ddeddfau.
127 Mwy nag yr hoffais dy ddeddf di,
pe rhon' a'i goethi 'n berffaith :
128 Yn uniawn oll y cyfrifais ;
caseais lwybrau diffaith.

### PE. Rhan 17.

129 Rhyfedd yw dy dystiolaethau ;
f' enaid innau a'u cadwodd :
130 Egoriad d'air yn oleu caid ;
i weiniaid pwyll a ddysgodd.
131 Dyheais gan chwant (O Dduw Ion)
i'th lân orch'mynion croyw :
132 Edrych di arnaf megis ar
y rhai a gâr dy enw.

133 Yn ol d'air cyfarwydda 'nhroed ;
anwiredd na ddoed arnaf:
134 O gwared fi rhag trawsedd dŷn,
a'th orchymyn a gadwaf.
135 Llewyrcha d' wyneb ar dy was,
dysg imi flas dy ddeddfau :
136 Dagrau o'm golwg llifo 'wnant,
na's cadwant dy gyfreithiau.

### TSADI. Rhan 18.

137 Cyfiawn ydwyt (O Arglwydd Dduw)
ac uniawn yw dy farnau :
138 Dy dystiolaethau, yr un wedd,
ŷnt mewn gwirionedd hwythau.
139 Fy serch i 'th air a'm difaodd,
pan anghofiodd y gelyn :
140 D' ymadrodd purwyd trwy fawr ras,
hoffodd dy was d'orchymyn.

141 Nid anghofiais dy gyfraith lân,
er bod yn fychan f' agwedd :
142 Dy gyfiawnder di cyfiawn fydd,
a'th ddeddf di sydd wirionedd.
143 Adfyd cefais, a chystudd maith ;
dy gyfraith yw 'nigrifwch :
144 Gwna im' ddeall cyfiawnder gwiw,
a byddaf fyw mewn heddwch.

### COPH. Rhan 19.

145 Llefais â'm holl galon ; O clyw,
a'th ddeddfau, Duw, a gadwaf :
146 Arnat ti llefais ; achub fi,
a'th lwybrau di a rodiaf.
147 Gwaeddais, áchubais flaen y dydd,
wrth d'air yn ufudd gwyliais :
148 Deffroi fy llygaid ganol nos,
o achos d'air a hoffais.

149 Clyw fi'n ol dy drugaredd dda ;
bywhâ fi'n ol dy farnau :
150 Arnaf rhai 'sgeler a nesânt ;
troseddant dy gyfreithiau.
151 Tithau bydd agos, Arglwydd Dduw ;
gwirionedd yw dy orch'mynion :
152 Gwyddwn fod dy dystiolaethau
gwedi 'sicrhâu yn gyfion.

### RESH. Rhan 20.

153 Gwel fy nghystudd, gwared ar gais ;
can's cofiais dy gyfreithiau :
154 Dadleu fy nadl, rhyddhâ fi'n rhodd,
yn ol ymadrodd d'enau.
155 Ffordd iachawdwriaeth sydd bell iawn
oddiwrth anghyfiawn ddynion :
Am nad ydynt yn ceisio'n glau
mo lwybr dy ddeddfau union.

156 Dy drugaredd, Arglwydd, aml yw ;
gwna im' fyw'n ol dy farnau :
157 Llawer sy'm herlid ; 'r wyf, er hyn,
yn dilyn dy lân ddeddfau.
158 Gwelais y traws, a gresyn fu
iddynt ddirmygu d' eiriau :

159 Hoffais dy ddeddf; bywhâ fi, Arglwydd,
 herwydd dy drugareddau.

160 Dechreu dy air gwirionedd yw,
 O Arglwydd Dduw y Llywydd:
A'th gyfiawn farnedigaethau
 sydd yn parhâu'n dragywydd.

## SCHIN. Rhan 21.

161 Y cryf ar gam f' erlid a wnai,
 rhag d' ofn y crynai 'nghalon:
162 Oblegid d'air wyf lawen iawn,
 fel pe cawn dlysau mawrion.
163 Celwydd ffieidd-dra a gas'ais,
 a hoffais dy gyfreithiau:
164 Saith waith bob dydd y rhof it' glod,
 am fod yn dda dy farnau.
165 Y sawl a gâr dy air, cânt hedd;
 drwg ni's goddiwedd mo 'nyn':
166 Gwyliais, Arglwydd, wrth dy iechyd,
 gan wneuthud dy orchymyn.

167 Dy ddeddf cadwodd fy enaid i,
 a hi yn fawr a hoffais:
168 Am fod fy llwybrau ger dy fron,
 d' orch'mynion nid anghofiais.

## TAU. Rhan 22.

169 O'th flaen, Arglwydd, nesaed fy nghri;
 dysg imi ddeall d'eiriau:
170 Gwared fi'n ol d' ymadrodd rhad;
 dêl attad fy ngweddïau.
171 Dy fawl a draetha 'ngenau 'n wŷch,
 pan ddysgych im' dy ddeddfau:
172 Datgan fy nhafod d'air yn rhwydd,
 herwydd dy gyfiawn eiriau.

173 Cymhorthed dy law fi ar gais;
 dewisais dy orch'mynion:
174 Cerais dy iechyd, a'th ddeddf fydd
 lawenydd mawr i'm calon.
175 Bo f' enaid byw, a mawl it' rhoed;
 dy farn boed i'm hymddiffyn:
176 Crwydrais fel oen, dy was O cais;
 can's cofiais dy orchymyn.

## PSALM CXX.

I'M hing y gelwais ar f' Arglwydd,
 ac ef yn rhwydd a'm clybu:
2 Duw, gwared fi rhag tafod gau,
 a genau yn bradychu.
3 Dywaid i mi, oes les neu fael
 i'w gael, O dafod distryw?
4 Geiriau fel llymion saethau cawr,
 ynghŷd â marwawr meryw.

5 Gwae fi, aros 'honof yn llech
 ynghŷd â Mesech dwyllgar:
A chyfanneddu â'm gwersyll
 yn nhrawsion bebyll Cedar.
6 Hir y bu f' enaid, y sut hon,
 ym mysg caseion heddwch:
7 Os son am lonydd a wnawn i,
 rhyfelai'r rheini 'n rhyfflwch.

## PSALM CXXI.

DISGWYLIAF o'r mynyddoedd draw,
 lle 'daw im' help 'wyllysgar:
2 Yr Arglwydd rhydd im' gymmorth gref,
 hwn a wnaeth nef a daear.
3 Dy droed i lithro ef ni's gâd,
 a'th Geidwad fydd heb huno:
4 Wele, Ceidwad Israel lân
 heb hûn na hepian arno.

5 Ar dy law ddeau mae dy Dduw,
 yr Arglwydd yw dy Geidwad:
6 Dy lygru ni chaiff haul y dydd,
 a'r nos nid rhydd i'r lleuad.
7 Yr Ion a'th geidw rhag pob drwg,
 a rhag pob cilwg anfad:
8 Cai fyn'd a dyfod byth yn rhwydd;
 yr Arglwydd fydd dy Geidwad.

## PSALM CXXII.

I Dŷ 'r Arglwydd pan dd'wedent, Awn,
 im' llawen iawn oedd gwrando:
2 Sai'n traed o fewn Caersalem byrth,
 yr un ni syrth oddiyno.
3 Caersalem lân, ein dinas ni,
 ei sail sydd ynddi 'i hunan:
A'i phobl sydd ynddi yn gyttûn,
 a Duw ei hun â'i drigfan.

4 Can's yno y daw y llwythau 'nghyd,
 yn unfryd, llwythau'r Arglwydd:
Tystiolaeth Israel a'i drig-fod,
 a chlod i'w fawr sancteiddrwydd.
5 Can's yno cadair y farn sydd;
 eisteddfod Dafydd yno:
6 Erchwch i'r ddinas hedd a mawl,
 a llwydd i'r sawl a'th garo.

7 O fewn dy gaerau heddwch boed,
 i'th lysoedd doed yr hawddfyd:
8 Er mwyn fy mrodyr mae'r arch hon,
 a'm cymmydogion hefyd.
9 Ac er mwyn tŷ 'r Arglwydd ein Duw,
 hwn ynot yw'n rhagorol:
O achos hyn yr archaf fi
 i ti ddaioni rhadol.

## PSALM CXXIII.

TUEDDA 'ngolwg at y ne',
 (fy Nuw) dy le trigiannol:
2 Fel y try gweision eu llygaid
 at ddwylo'u meistraid bydol.
Llygaid llaw-forwyn, ar bob tro,
 a ddilyn ddwylo 'i meistres:
Disgwyliwn arnat (Dduw)'r un wedd
 am dy drugaredd gynnes.

3 Dy nawdd, Arglwydd, dy nawdd yn rhodd;
 dygasom ormodd dirmyg:
4 Gan watwar y tyn a'r balch iawn,
 yr ŷm yn llawn boenedig.

## PSALM CXXIV.

DYMA 'r amser, yn ddi ymgêl,
 gall Israël fynegi:
Yr Arglwydd nef oni bai fod
 â'i arfod gyd â nyni;
2 Gyd â ni oni bai ei fod,
 pan ddaeth gwrth-drafod dynion:
3 Pan gododd eu llid i'n poeni,
 llyngcasent ni yn fyw ion.

4 Y dyfroedd a'n boddasent ni,
 a'n hoes dan gefnlli' buan:
5 Chwyddasent drosom, fel chwydd dw'r;
 fel dyna gyflwr truan.
6 Bendigaid Ior ei law a droes;
 ac ef ni roes mo honom
Yn ysglyfaeth, i'n rhwygo'n frau,
 i'w gwag efeiliau llymion.

7 Ein henaid aeth yn rhŷdd o lŷn,
 fel yr aderyn gwirion:
Rhwyd yr adarwr torri 'wnaeth,
 a ninnau aeth yn rhyddion.

8 Ein holl gynhorthwy ni, a'n llwydd,
sy'n nerth yr Arglwydd hawddgar:
Yr hwn, trwy waith ei ddwylaw ef,
a greawdd nef a daear.

## PSALM CXXV.

SAWL a 'mddiriedant yn Nuw Ion,
byddant fel Seion fynydd,
Yr hwn ni syfl: a'i sylwedd fry
a bery yn dragywydd.
2 Fel y saif sail Caersalem fry,
a'i chylchu mae mynyddoedd:
Felly yr Arglwydd yn gaer sydd
dragywydd cylch ei bobloedd.

3 Er na orphwys rhwysg cledd hir
yr enwir ar gyfiawnuiaid:
Rhag i'r rhai cyfiawn estyn llaw,
i deimlaw campau diriaid;
4 O Arglwydd Dduw, yn brysur gwna
i bob dŷn da ddaioni:
Sef union attat ti yn glau
y bydd calonnau 'r rheini.

5 Onid y drygddyn, Duw a'i gyr
gyd â gweithwŷr anwiredd:
Mewn drwg ymdroes, felly ymdrôed;
ar Israel boed tangnefedd.

## PSALM CXXVI.

PAN ddychwelodd ein gwir Dduw Ion
gaethiwed Seion sanctaidd:
Mor hyfryd gennym hyn bob un,
a rhai mewn hûn nefolaidd.
2 Nyni â'n genau yn dda'n gwedd,
gorfoledd ar ein tafod,
Ym mhlith cenhedloedd d'wedynt hyn;
Fe wnaeth Duw drostyn' ystod.

3 Ystod fawr a wnaeth Duw yn wir,
ein dwyn i'n tir cynnefin·
O gaethiwed y gelyn llym;
am hyn yr ŷm yn chwerthin.
4 O cynnull ein gweddillion ni;
tro adre' 'r rheini eilwaith:
Gan dy lif-ddyfroedd fel y gwlych
y dehau sych a diffaith.

5 Y rhai sy'n hau mewn dagrau blin,
hwynt-hwy dan chwerthin medant
Felly, f' Arglwydd, dan droi y byd,
dwg ni i gŷd i'r meddiant.
6 Y rhai dan wylo aeth o'r wlad,
fel taflu had 'rhŷd gryniau:
Trwy lawenydd y dont ynghŷd,
fel casglu ŷd yn dyrrau.

## PSALM CXXVII.

Y Tŷ ni adeilado 'r Ner,
ai'n ofer gwaith y seiri:
A'r ddinas hon ni's ceidw efô,
ni thycia gwylio ynddi.
2 Os bore godi, os hûn hwyr,
a byw trwy lwyr ofidio;
Ofer i gŷd: Duw a rydd hûn
i bob rhyw un a'i caro.

3 Wele, y plant a roir i ddyn,
hiliogaeth ŷn' i'r Arglwydd:
Ac o'i rodd ef daw ffrwyth y bru,
i'w magu mewn sancteiddrwydd.
4 Fel gŵr cryf, p'le bynnag y daw,
ac yn ei law ei saethau:
Plant yr ieuengctid felly 'maen'
yn barch o flaen y tadau.

5 Sawl' honynt sydd â'i wifr yn llawn,
mae'n ddedwydd iawn ei loddion:
Hwy ni's gw'radwyddir, pan ddêl man
i 'mddiddan â'u gelynion.

## PSALM CXXVIII.

A Ofno 'r Arglwydd, gwŷn ei fyd,
a rhodio 'r hŷd ei lwybrau:
2 Bwyttâi o ynnill gwaith dy law,
a blith y daw i tithau.
3 Dy wraig ar du dy dŷ is nen,
fel per winwŷdden ffrwythlon:
Dy blant ynghylch dy fwrdd, a fydd
fel olew-wŷdd blanhigion.

4 Wele, fel dyma 'r modd, yn wir,
bendithir y gwr cyfion:
A ofno 'r Arglwydd Dduw yn ddwys,
rhydd arno bwys ei galon.
5 Cei gyflawn fendith gan Dduw Ion,
bydd dithau, Seion, ddedwydd
Fel y gwelych, â goleu drem,
Gaersalem mewn llawenydd,

6 Holl ddyddiau d'einioes. Plant dy blant,
cei weled llwyddiant iddynt;
Ac ar holl deulu Israël,
daw hedd diogel arnynt.

## PSALM CXXIX.

LLAWER gwaith cefais gystudd mawr,
Israel yn awr dyweded:
O'm hieuengctid hyd yr awr hon,
fe ŵyr fy mron eu trymmed.
2 A llawer gwaith y cefais lid,
o'm gwan ieuengctid allan,
A blin gystudd ar lawer tro:
ac etto ni 'm gorfuan'.

3 Yr arddwŷr arddent y cefn mau,
trwy rwygo cwysau hirion:
4 Y cyfion Ner torrodd yn frau
bleth-didau 'r annuwiolion.
5 Pa rai bynnag a roisant gas
ar degwch dinas Seion,
Gw'radwydder hwynt, cilient i'w hol,
y rhai annuwiol creulon.

6 Byddant fel y glas wellt a fai
ar bennau tai yn tyfu:
Yr hwn fydd, cyn y tynner fo,
yn gwywo, ac yn methu.
7 Ni leinw 'r medelwr ei law;
ni chair o honaw ronyn:
I'r casglwr ni's tâl ddim mo'i droi,
na'i drin, na'i roi mewn rhwymyn.

8 Fel na bai byth gwiw gan y rhai
na'r a dramwyai heibio,
Dd'wedyd unwaith, Duw a ro lwydd:
neu, 'R Arglwydd a'ch bendithio.

## PSALM CXXX.

O'R dyfnder gelwais arnat, Ion:
2 O Arglwydd tirion, gostwng
Dy glust, ystyria y llais mau,
clyw fy ngweddïau teilwng.
3 Duw, pwy a saif yn d'wyneb di,
os creffi ar anwiredd?
4 Ond, fel y'th ofner di yn iawn,
yr wyt yn llawn trugaredd.

5 Disgwyliais f' Arglwydd, wrth fy rhaid;
disgwyliodd f' enaid arno:
Rhois fy holl obaith yn ei air;
6 F' enaid a gair yn effro.

Ac am yr Arglwydd gwylio y bydd
  fwy nâ gwyliedydd difri,
A edrych blygain bob pen awr,
  a welo'r wawr yn codi.

7 Un wedd disgwylied Israël
  yn ddirgel am yr Arglwydd :
Can's mae nawdd gyd â'r Arglwydd nef;
  mae ynddo ef rywiowgrwydd.
Ei drugareddau ant ar led,
  fe rydd ymwared iddi :
8 Fe weryd Israël : fel hyn
  fo'i tyn o'i holl drygioni.

## PSALM CXXXI.

YN fy nghalon ni bu falch chwydd,
  O Arglwydd, na dim tywydd :
Ni chodais chwaith drahaus wg
  i'm golwg, o dra uchder.
Ac ni rodiais yma a thraw,
  i dreiglaw pethau mawrion :
Ni fanwl chwiliais am wybod
  rhyfeddod a dirgelion.

2 Gostyngais i f'enaid mewn pryd,
  fel pan ddiddyfnyd beriod :
Fy enaid sydd fel un a fu
  gwedi 'ddiddyfnu'n barod.
3 Ond disgwylied tŷ Israël
  wrth wir Imanuel beunydd ;
Sef wrth yr Arglwydd o'r pryd hyn,
  heb derfyn, yn dragywydd.

## PSALM CXXXII.

O Cofia Ddafydd, fy Nuw Ner,
  a'i holl wrth-flinder hefyd :
2 Pa lw adduned a roes fo
  i Dduw Iago, gan ddywedyd,
3 Nid af o fewn pabell fy nhŷ,
  a'm gwely mwy ni's dringaf :
4 Ni roddaf i'm dau lygad hûn,
  amrantun chwaith ni chysgaf ;

5 Nes caffwyf gyfle, yn ddi rus,
  i Arglwydd grymmus Iago :
6 Wele'n Ephrata clywsom fod
  lle o breswylfod iddo.
Cawsom hi ym meusydd y coed.
  7 Pawb doed i'w bebyll tirion :
Awn, ymgrymmwn, pawb ufuddhâed,
  wrth ei faingc draed yn union,

8 F' Arglwydd, cyfod i'th esmwyth lys.
  a'th arch o rymmus fawredd :
9 Gwisged d'offeiriaid gyfion fraint,
  gwisged dy saint wirionedd.
10 Er mwyn Dafydd, dy ffyddlon was,
  na thyn dy ras yn llidiog :
Ac na wrthneba di, er neb,
  mo wyneb dy Enneiniog.

11 I Ddafydd rhoes yr Ion lw gwir ;
  a chedwir hwn heb ŵyredd :
O ffrwyth dy gorph rhof ar dy faingc
  it' iraidd gaingc i eistedd.
12 Fy neddfau a'm cyfammod i
  dy feibion di os cadwant :
O blan i blan, o gaingc i gaingc,
  hwy ar dy faingc a farnant.

13 [illegible] fy Arglwydd, o serch a bodd,
  [illegible] Seion :
[illegible] vd,
  [illegible] ;
14 [illegible] ;
  [illegible].

15 Bendithiaf hi â bwyd di ball,
  â'i thlawd diwall o fara.

16 A iachawdwriaeth, medd Duw Naf,
  y gwisgaf ei heglwyswŷr :
A rhoddaf yngenau pob sant,
  o'i mewn, y goniant psallwŷr.
17 Paraf hyn oll, ac felly bydd
  corn Dafydd yn goronog :
Felly darperais, gan fy mhwyll,
  brif ganwyll i'm Henneiniog.

18 Am ei elynion, o bob parth,
  y gwisgaf warth a gw'radwydd :
Paraf hefyd i'w goron fo
  flodeuo, medd yr Arglwydd.

## PSALM CXXXIII.

WELE, fod brodyr yn byw 'nghyd,
  mor dda, mor hyfryd, ydoedd!
2 Tebyg i olew o fawr werth
  mor brydferth ar y gwisgoedd :
Fel pe disgynai draw o'r nen,
  'r hyd barf a phen offeiriad :
Sef barf Aron, a'i wisg i gyd,
  yn hyfryd ei arogliad :

3 Fel pe disgynai gwlith Hermon
  yn dô dros Seion fynydd :
Lle rhwymodd Duw fywyd, a gwlith
  ei fendith, yn dragywydd.

## PSALM CXXXIV.

WELE, holl weision Arglwydd nef,
  bendithiwch ef, lle 'r ydych
Yn sefyll yn nhŷ Dduw y nos,
  a'i gyntedd diddos trefnwych.
2 Dyrchefwch chwi eich dwylaw glân
  yn ei gyssegr-lân annedd :
A bendithiwch, â chalon rwydd,
  yr Arglwydd yn gyfannedd.

3 Yr Arglwydd, â'i ddeheulaw gref
  hwn a wnaeth nef a daear,
A roddo ei fendith, a'i ras,
  i Seion, ddinas hawddgar.

## PSALM CXXXV.

O Molwch enw 'r Arglwydd nef,
  ei weision ef moliennwch :
2 Y rhai a saif i'w dŷ a'i byrth,
  i'n Duw, a'i fawrwyrth, cenwch.
3 Molwch yr Arglwydd, can's da yw ;
  clod i'r for byw a berthyn :
Cenwch ei glod dros yr holl fyd ;
  a hyfryd yw y testyn.

4 Oblegid yr Arglwydd â'i nawdd
  ef a etholawdd Iago :
Ac Israël, i'w mysg y trig,
  yn deulu unig iddo.
5 Can's mawr yw 'r Arglwydd yn ei lys ;
  mi wn yn hyspys hynny :
Ym mhell uwch law 'r holl dduwiau mân
  mae 'r Arglwydd glân, a'i allu.

6 Hyn oll a fynnodd a wnaeth ef,
  yn uchder nef eithafon :
A'r ddaear, ac yn y mor cau,
  a holl ddyfnderau 'r eigion.
7 O eithaf daear cyfyd tarth ;
  daw 'r mellt o bob parth hwythau
Ac oer dymhestloedd, gwlaw, a gwynt,
  a godynt, o'i drysorau.

8 Yn nhir yr Aipht, dynion, a dâ,
  â llawer pla, y t'rawodd :

Cyntaf-anedig o bob un,
â'i law ei hun, a laddodd.
9 I'th ganol di, O Aipht greulon,
rhoes Duw arwyddion rhyfedd:
Ar Pharo a'i holl weision i gŷd;
dug trwy 'r holl fyd orfoledd.

10 O nerth ei fraich efe a wnaeth
lawer cenhedlaeth feirwon:
A lladdodd lawer, yr un wedd,
o ben brenhin'edd cryfion.
11 Sef o'r Amoriaid Sehon fawr,
ac Og y cawr o Basan:
A'r un ddinystriad arnynt aeth,
a holl frenhiniaeth Canan.

12 A'u holl diroedd hwynt-hwy i gŷd,
gyd â'u holl fywyd bydol,
I Israël ei roi a wnaeth,
yn etifeddiaeth nerthol.
13 Dy enw (O Arglwydd) a'th nerth cry',
a bery yn dragywydd:
Ac o genedl i genhedlaeth,
dy goffadwriaeth, Lywydd.

14 Can's ar ei bobl y rhydd ef farn,
yr Arglwydd cadarn cyfion:
Ac yn ei holl lywodraeth bur,
bydd dostur wrth ei weision.
15 Y delwau oll, gwaith dwylaw dŷn',
a dyfais dŷn anffyddlon:
O aur ac arian, dŷn a'u gwnaeth,
o hil cenhedlaeth weigion.

16 O waith dŷn, genau rhwth y sydd,
heb ddim lleferydd iddyn':
Ac mae llun llygaid mawr ar lled,
a'r rhai'n heb weled gronyn.
17 Dwy glust dynion sydd i bob un,
heb glywed mymrun etto:
Eu safn yn ehang, ac ni chaid
na chwŷth nac enaid ynddo.

18 Un fodd â'r delwau, fydd y rhai
a'u gwnelai hwynt â'u dwylo:
Ac nid yw well nâ 'r rhai'n yr un
ynddyn' a ymddiriedo.
19 Tŷ Israël, na choeliwch chwi,
tŷ Aron, Lefi ufudd,
20 I'r rhai'n ddim, ond i'r Arglwydd ne':
bendithiwch e'n dragywydd.

21 Bendithier fyth mawr Enw 'r Ion,
o Seion hen, a barchem:
Bendithier, moler ei enw fo,
sy'n trigo yng Nghaer-Salem.

## PSALM CXXXVI.

MOLWCH yr Arglwydd, can's da yw;
moliennwch Dduw y Llywydd:
Can's ei drugaredd oddi fry
a bery yn dragywydd.
2 Molwch chwi Dduw y duwiau'n rhwydd,
3 Ac Arglwydd yr arglwyddi:
4 Hwn unig a wnaeth wyrthiau mawr,
trwy ei ddirfawr ddaioni.

5 Gwnaeth, â'i ddoethineb, nef uwch ben,
6 A'r ddaearen, a'r dyfr'edd;
Y rhai yw prif sylwedd y byd,
ac i gŷd o'i drugaredd.
7 'R hwn a wnaeth oleuadau mawr,
o'r nef hyd lawr, â'i fawredd:
8, 9 Haul y dydd, a'r lleuad y nos,
i ddangos ei drugaredd.

10 'R hwn a d'rawodd yr Aipht i'w ddig,
a'r blaen-anedig ynddi:
11 Ac a ddug Israël i'r daith,
ac ymaith o'u holl gyni.
12 A hyn trwy law gref, a braich hir,
o rym ei wir ogonedd:
13 A hollti 'r môr coch yn ddwy ran,
o anian ei drugaredd.

14 Dug Israël i'r lan yn wŷch;
fel dyna ddrych gorfoledd:
15 Ysgytio Pharo, a'i holl lu;
a hyn fu ei drugaredd.
16 A dwyn ei bobloedd, yn ddi-chwŷs,
trwy wledydd dyrys anian:
17 Taro brenhinoedd er eu mwyn,
ac felly 'dwyn hwy allan.

18 Lladd llawer brenhin cadarn llon;
19 Sef Sehon yr Amoriaid:
20 Ac Og o Basan, yn un wedd,
o'i fawr drugaredd dibaid.
21 A'u holl diroedd hwynt-hwy i gŷd
eu rhoi yn fywyd bydol
22 I Israël ei was, a wnaeth,
yn etifeddiaeth nerthol.

23 Hwn i'n cystudd a'n cofiodd ni,
o'i fawr ddaioni tirion:
24 Ac a'n hachubodd yn ddiswrth
oddiwrth ein holl elynion.
25 Yr hwn a ymbyrth bob rhyw gnawd,
yn ddidlawd o'i drugaredd:
26 Clodforwch Dduw, Brenhin y nef;
rhowch iddo ef ogonedd.

*Molwch Arglwydd yr arglwyddi,*
*uwch ben pob rhi o fawredd:*
*Duw 'r duwiau, Ior uwch ben pob ion,*
*a ffynnon y drugaredd.*

## PSALM CXXXVII.

PAN oeddym gaeth yn Babilon,
ar lan prif afon groyw,
Mewn coffadwriaeth am Seion,
bidlason ddagrau'n loyw.
2 Rhoddasom ein telynau 'nghrog
ar goed canghennog irion,
Lle yr oedd preniau helyg plan
o ddeutu glan yr afon.

3 Y rhai a'n dug i garchar caeth,
i ni yn ffraeth gofynen',
A ni'n bruddion, gerddi Seion:
ysywaeth peth ni's gallen.
4 O Dduw, pa fodd y canai neb
(rhoem atteb yn ystyriol)
I chwi o gerdd ein Harglwydd Dad,
a ni mewn gwlad estronol?

5 Os â Caersalem o'r cof mau,
anghofied dehau ganu:
6 Na throed fy nhafod, oni bydd
hi'n ben llawenydd imi.
7 Cofia di, Dduw, blant Edom lem,
yn nydd Caersalem hawddgar:
Noethwch, dinoethwch (meddei rhai'n)
ei mur a'i main i 'r ddaear.

8 Bydd gwŷn eu byd i'r sawl a wnel
i ti, merch Babel rydost,
Yr unrhyw fesur, gan dy blau,
i ninnau fel y gwnaethost.
9 Y sawl a gym'ro dy blant di,
bo'r rheini fendigedig,
Ac a darawo'r eppil tau
â'u pennau wrth y cerrig

## PSALM CXXXVIII.

RHOF fawrglod iti, fy Nuw Ion;
o ddyfnder calon canaf.
Yngŵydd holl angylion y nef,
â'm hoslef, y'th foliannaf.
2 Ymgrymmaf tu a'th sanctaidd dŷ,
dan ganu o'th drugaredd.
A'th enw mawr, uwch-law pob peth,
a'th air difeth wirionedd.

3 Y dydd y gelwais arnat ti,
gwrandewaist fi yn fuan:
Yno y nerthaist, â chref blaid,
fy enaid i, oedd egwan.
4 Doed brenhinoedd y ddaear hon,
a rhoen' it' union foliant:
Addolent oll ein gwir-Dduw ni;
can's d'eiriau di a glywsant.

5 Yn ffyrdd yr Arglwydd, yr un wedd,
ac am ei Fawredd, canant:
Gan ddangos trwy 'r holl fyd ei fraint,
a maint yw ei ogoniant.
6 Uchel yw 'r Ion, etto fe wel
yr ufudd isel ddynion;
A gwel o hirbell, er eu plau,
y beilch â'r gwarrau sythion.

7 Pe bai yn gyfyng arnai 'r byd,
ti a'm bywhëyd eilwaith:
Gan estyn llaw, i ddwyn dy was
oddiwrth rai atcas ymaith.
8 Yr Arglwydd a gyflawna â mi,
Duw, dy ddaioni rhag-llaw,
Ac yn dragywydd i mi dod,
na wrthod waith dy ddwylaw.

## PSALM CXXXIX.

ARGLWYDD, manwl y chwiliaist fi;
da y'm hadwaeni hefyd:
2 Eisteddiad, codiad, gwyddost hyn,
a'm meddwl cyn ei dd'wedyd.
3 Yr wyd ynghylch fy llochës i,
a'm ffyrdd sydd iti'n hyspys:
4 Nid oes air na's gwyddost ei fod
ar flaen fy nhafod ofnus.

5 O'm hol ac o'm blaen y'm lluniaist;
dy law a ddodaist arnaf:
6 Gwybodaeth ddieithr yw i mi,
a'i deall hi ni's medraf.
7 I ba le 'raf fi i roi tro,
i 'mguddio rhag dy Yspryd?
I ba le ffoaf rhag dy wydd,
trwy gael ffordd rwydd i lathlyd?

8 Os dringaf tu a'r nefoedd fry,
wyt yno i'th dŷ perffaith:
Os tu a'r dyfnder gostwng tro,
yr wyt ti yno eilwaith.
9 Pe cawn adenydd bore wawr,
a myn'd i for mawr anial:
10 Yno bydd dy ddeheulaw di,
i'm tywys i, a'm cynnal.

11 A phe meddyliwn, yr ail dro,
ymguddio mewn tywyllwg:
Canol y nos fel hanner dydd,
mor oleu fydd yn d' olwg.
12 Nid dim tywyllach nos i ti,
nag yw goleuni hafddydd:
A'r ddau i ti maent yr un ddull,
y tywyll a'r goleuddydd.

13 Da 'gwyddost y dirgelwch mau;
f' arennau a feddiennaist:
Ynghrôth fy mam pan oeddwn i,
yno tydi a'm cuddiaist.
14 Can's rhyfedd iawn y gwnaethpwyd fi,
a'th waith di sy ryfeddod:
A'm henaid a ŵyr hynny'n dda,
a hon a wna it' fawrglod.

15 Ni chuddiwyd fy ngrym rhagot ti,
pan wnaethost fi yn ddirgel,
Fel llunio dŷn o'r ddaear hon,
o fewn pridd eigion isel.
16 Dy lygaid gwelsant fy nhrefn wael,
cyn i mi gael perffeithlun:
'R oedd pob peth yn dy lyfr yn llawn,
cyn bod yn iawn un gronyn.

17 Mor anwyl dy feddyliau ym'!
mor fawr yw sum y rheini!
18 Wrth fwrw, amlach gwn eu bod
na 'r tywod o rifedi.
Myfyrio pan ddeffrowyf fi,
'rwyf gyd â thi yn gwblol.
19 O Dduw, pa achos, yn dy lid,
na leddid yr annuwiol?

O Dduw, pe cospid rhai o'r rhain
y sydd yn arwain traha:
Wrth y gwaedlyd fo gaid d'wedyd,
Dydi dos oddi yma.
20 Y rhai am danad, f' Arglwydd cu,
sy'n traethu pethau 'sgeler:
A'th elynion, dibris eu llw,
cym'rasant d'enw'n ofer.

21 On'd cas yw gennyf, O Dduw Ion,
dy holl gaseion gwaedlyd?
On'd ffiaidd gennyf fi bob dŷn
a ai yn d'erbyn hefyd?
22 A llawn gas y caseais hwynt:
ŷnt fel ar hwynt gelynion.
23 O chwilia fi, O Dduw, yn hŷ:
cei hynny yn fy nghalon.

Duw) prawf fy meddwl i'n fy mol,
24 Oes ffordd annuwiol genny',
Gwel fi, tywys, dwg fi yn f' ol;
dod ffordd drag'wyddol ymy.

## PSALM CXL.

RHAG y gŵr drwg gwared fi (Ner)
rhag gŵr y trawsder efrydd:
2 'Rhai sy'n bradychu yn ddirgel,
a chasglu rhyfel beunydd,
3 Fel colyn sarph yn llithrig wau,
yw eu tafodau llymion:
Gwenwyn yr asp sydd yn parhâu
dan eu gwefusau creulon.

4 Rhag y dŷn drwg, rhag y gŵr traws,
sy'n myfyr lliaws faglau:
Duw, gwared fi, rhag gosod brad
ynghylch fy ngwastad lwybrau.
5 Y beilch cuddiasant fagl a rhwyd;
wrth hon gosodwyd tannau:
Ar draws fy ffyrdd, i ddal fy nhroed,
ynghûdd y rhoed llinynnau.

6 D'wedais wrth f' Arglwydd, Fy Nuw wyd;
tyn fi o'u rhwyd a'u maglau:
O gwrando'n fuan, f' Arglwydd nef,
ar brudd lef fy ngweddïau.
7 Fy Arglwydd yw fy nerth i gŷd,
a'm coel, a'm hiechyd calon:
Ti a roist gudd dros fy mhen mau
yn nydd yr arfau gloywon.

8 I 'r dŷn annuwiol, Duw, na ad
ddymuniad drwg ei 'wyllys:

Rhag ei wneuthur efo yn gry',
a'i fyn'd yn rhŷ drahäus.
9 A'u holl ddymuniad drwg i mi,
a'u rhegain weddi greulon:
Y rhai'n yn llwyr a ddont ym mhen
y capten o'm caseion.

10 Syrthied arnynt y marwor tân,
ac felly llosgan' ymaith:
Bwrier hwy mewn ceufosydd nant,
fel na chyfodant eilwaith.
11 Dŷn llawn siarad fydd anwastad;
ni eistedd ef yn gryno:
A drwg a ymlid y gwr traws;
o hyn mae'n haws ei gwympo.

12 Da gwn y rhydd yr Arglwydd dâl,
i ddial cam y truan:
Ac y iawn farna y dŷn tlawd,
sy'n byw ar gardawd fechan.
13 Y rhai cyfiawn, trwy yr holl fyd,
dy enw a gyd foliannant:
A'r holl rai union, heb ofn neb,
o flaen dy wyneb trigant.

## PSALM CXLI.

O Brysia, Arglwydd, clyw fy llais;
o brysur gelwais arnad:
O'r man lle bwyf gwrando fy llef,
a doed i'r nef hyd attad.
2 Fy ngweddi ger dy fron a ddaw,
gan godi dwylaw'n uchel,
Yn arogl darth ac aberth hwyr,
fel union ddiwŷr lefel.

3 O Arglwydd, gosod, rhag gair ffraeth,
gadwraeth ar fy ngenau:
Rhag im' gam-dd'wedyd, gosod ddor
ar gyfor fy ngwefusau.
4 Na phwysa 'nghalon at ddrwg beth,
ynghŷd-bleth â'r annuwiol:
Nac mewn cyd-fwriad gwaith neu wedd,
rhag twyll eu gwledd ddainteithiol.

5 Boed cosp á cherydd y cyfiawn
fel olew gwerthlawn arnaf:
Ni friw fy mhen; po mwyaf fo,
mwy trosto a weddïaf.
6 Eu barnwŷr pe bwrid i'r llawr
ar greigiau dirfawr dyrys:
Gwrandawent ar f' ymadrodd i,
a chlywent hi yn felys.

7 Fel darnau cynnud o goed mân,
a fwrian' 'rhŷd y ddaear:
Mae'n hesgyrn ninnau, yr un wedd,
ym mron y bedd ar wasgar.
8 Mae 'ngolwg, a'm holl obaith i,
Duw, arnat di dy hunan:
Duw, bydd di'n unig yn fy mhlaid;
na fwrw f' enaid allan.

9 Cadw fi, Arglwydd, rhag y rhwyd
hon a osodwyd ymy:
Telm yr annuwiol, hoenyn main,
rhag ofn i'r rhai'n fy maglu.
10 Yr anwireddwŷr, 'b ado un,
cwympant eu hun i'w rhwydau:
Ymddiried ynot ti a wnaf,
ac felly diangaf innau.

## PSALM CXLII.

RHOIS weddi ar yr Arglwydd nef;
yn llym fy llef ymbiliais:
2 A'm holl fyfyrdod ger ei fron,
o'm calon, y tywelltais.

3 Ond pan fynegais it' fy nghur,
a'm dolur o'm meddyliau:
Da gwyddit ti bob ffordd, a'r man,
y rhoisan' i mi faglau.

4 O'r tu deau nid oedd im' neb,
trown f' wyneb, a'm hadwaenai:
Na nawdd, na neb, o du'n y byd,
fy mywyd a 'ngeleddai.
5 Arnad llefais, wrthyt d'wedais,
Duw, ti a ydwyt union:
Fy nghwbl obaith wyt ti yn wir,
a'm rhan yn nhir y bywion.

6 O ystyr, Arglwydd, faint fy nghri;
wyf mewn trueni digllon:
Rhag fy erlidwŷr gwared fi;
mae'r rheini yn rhŷ gryfion.
7 O garchar caeth fy enaid tyn;
dy enw am hyn a folaf:
Pan weler dy fod ar fy rhan,
y cyfion twysgan attaf.

## PSALM CXLIII.

ERGLYW fy arch, O Arglwydd mad,
wyf arnad yn gweddïo:
O'th wirionedd, a'th gyfiawnedd,
gofynaf it' fy ngwrando.
2 Ac na ddos i'r farn â'th was gwael,
(pa les im' gael cyfiawnder?)
Am nad oes dŷn byw ger dy fron
yn gyfion, pan ei teimler.

3 Y gelyn a erlidiodd f' oes,
mewn llwch y'm rhoes i orwedd:
Fel y rhai meirwon, a fai 'n hir
is tywyll dir â'u hannedd.
4 Yna fy yspryd, mewn blin ing,
a fu mewn cyfyng-gyngor:
5 Ac ar fy nghalon drom daeth braw.
Ond wrth fyfyriaw rhagor,

Mi a gofiais y dyddiau gynt,
a helynt gwaith dy ddwylo:
Am hyn myfyriais, fy Nuw Naf,
am hyn myfyriaf etto.
6 Fy nwylaw attat rhois ar led,
lle' mae f' ymddiried unig:
Am danad f' enaid sydd, yn wir,
un wedd â'r tir sychedig.

7 Yn ebrwydd gwrando fi yn rhodd,
O Arglwydd, pallodd f' yspryd:
Rhag i mi fyned i'r pwll du,
fel rhai a ddarfu 'bywyd.
8 Par im' ar frys glywed dy nawdd;
can's ynot hawdd y credais:
A dysg im' rodio dy ffyrdd rhad;
can's f' enaid attad codais.

9 A gwared fi, fy Nuw a'm Hiôn,
rhag fy ngelynion astrus:
Am fod fy lloches gyd â thi.
10 O dysg i mi d' ewyllys,
Can's tydi ydwyt y Duw mau:
boed d' Yspryd tau i'm tywys
Ar yr uniondeb yn y tir·
dyna dy wir ewyllys.

11 Duw, er mwyn d' enw, fi bywhâ,
a helpa f' enaid tyner:
Allan o ing, Duw, cais ei ddwyn,
ac er mwyn dy gyfiawnder.
12 A gwna ar yr elynol blaid,
caseion f' enaid, gerydd:
Difetha hwynt, er mwyn dy ras;
can's mi wyf dy was ufudd.

## PSALM CXLIV.

BENDIGAID fo 'r Arglwydd fy nerth;
mor brydferth yr athrawa
Fy nwylo i ymladd, a'r un wedd
fy mysedd i ryfela!
2 Fy nawdd, fy nerth, fy nug, fy nghred,
fy nhŵr, f' ymwared unig:
Can's trwyddo ef fy mhobl a gaf
danaf yn ostyngedig.

3 Pa beth yw dŷn, dywaid, O Dduw,
pan fyddit i'w gydnabod?
A mab dŷn pa beth ydyw fo,
pan fych o hono'n darbod?
4 Pa beth yw dŷn? peth yr un wedd
â gwagedd heb ddim 'hono:
A'i ddyddiau'n cerdded ar y rhod,
fel cysgod yn myn'd heibio.

5 Gostwng y nefoedd, Arglwydd da,
ac edrych draha dynion:
Duw, cyffwrdd â'r mynyddoedd fry;
gwna iddynt fygu digon.
6 I'w gwasgar hwynt, gyr fellt i wau;
i'w lladd, gyr saethau tanbaid:
7 Disgyn, tyn fi o'r dyfroedd mawr;
hyn yw, o law 'r estroniaid.

8 Duw, gwared fi; geneuau 'r rhai 'n
a fydd yn arwain gwegi:
A'u deheu-law sy, yr un bwyll,
ddeheulaw twyll a choegni.
9 I ti, Dduw, canaf, o fawrhâd,
yn llafar, ganiad newydd:
Ar nabyl, ac ar y deg-tant,
cei gerdd o foliant beunydd.

10 Duw i frenhinoedd rhoi a wnaeth
ei swcraeth at iawn-reol:
Dan ymwared Dafydd ei was
rhag cleddyf cas niweidiol.
11 Duw, gwared, achub fi wrth raid,
rhag plant estroniaid digus:
A'u safn yn llawn o ffalsder gau,
a'u dehau yn dwyllodrus.

12 Bydd ein meibion, fel planwydd cu,
o'r bôn yn tyfu 'n iraidd:
A'n merched ni fel cerrig nadd
mewn conglau neuadd sanctaidd:
13 A'n conglau llawnion o bob peth;
a'n defaid, difeth gynnydd,
Yn filoedd (mawr yw'r llwyddiant hwn)
a myrddiwn i'n heolydd:

14 A'n hychen cryfion dan y wêdd,
yn hywedd, ac yn llonydd:
Heb dor na sorriant i'n mysg ni,
na gwaeddi i'n heolydd.
15 Dedwydd ydyw y bobl y sy
â phob peth felly ganddynt:
Bendigaid yw 'r bobl y rhai 'n yw
a'r Arglwydd yn Dduw iddynt.

## PSALM CXLV.

MI a'th fawrygaf di, fy Nuw;
can's tydi yw fy Llywydd:
Bendithio dy enw byth a wnaf;
mi a'i molaf yn dragywydd.
2 Dy enw a folaf fi bob dydd,
a'th glod a fydd heb orphen:
3 Yr Arglwydd sydd glodfawr, heb wedd,
a'i fawredd sydd heb ddiben.

4 Cenedl wrth genedl a ront fawl
i'th ogoneddawl wŷrthiau:
Gan danu dy nerth 'rhyd y byd,
a d'wedyd dy gynheddfau.
5 Am dy ogonedd mawr, fy Naf,
mynegaf, a'th gadernid:
6 Sôn am dy bethau ofnadwy,
gwnant hwy a minnau hefyd.

7 Llwyr goffadwriaeth 'honot ti,
a'th fawr ddaioni,' draethant.
Ac o'th gyfiawnder, fy Nuw Ion,
â llafar dôn, y canant.
8 Sef graslawn yw ein Harglwydd ni,
ac o dosturi rhyfedd:
Hwyr ac anniben yw i ddig;
llawnfrydig i drugaredd.

9 Da yw yr Arglwydd i bob dŷn,
a'i nodded sy'n dyciannol:
Ac ar ei holl weithredoedd ef
daw nawdd o'r nef yn rasol.
10 Dy holl weithredoedd di i'th lwydd,
O Arglwydd, a'th glodforant:
Dy wŷrth pan welo dy saint di,
y rheini a'th fendithiant;

11 Gan son am drugaredd a gras
dy d'yrnas, a'i chadernid:
Fel dyna 'r gerdd sydd yn parhau
yn eu geneuau hyfryd.
12 Fel y paront, trwy hyfryd glod,
gydnabod â'th deyrnasiad,
A'th nerth ym mysg holl ddynol blant,
a'th lawn ogoniant gwastad.

13 Brenhiniaeth dy d'yrnas di fry
a bery yn wastadol:
A'th lywodraeth o oed i oed,
hon a roed yn drag'wyddol.
14 Yr Arglwydd cynnal ef yn llon,
y rhai sy 'mron eu cwympod:
Ac ef a gyfyd bawb, yn wir,
a'r a ostyngir isod.

15 Wele, mae llygaid yr holl fyd
yn disgwyl wrthyd, Arglwydd:
Tithau a'u porthi hwynt i gŷd,
bawb yn ei bryd, yn ebrwydd.
16 A phan agorech di dy law,
o honi daw diwall-faeth:
D' ewyllys da yw ymborth byw,
a hynny yw eu lluniaeth.

17 Holl ffyrdd yr Arglwydd cyfion ŷnt,
a'i wŷrthiau ydynt sanctaidd:
18 Agos iawn i bawb ydyw fo
a eilw arno'n buraidd.
19 Sef at y gwŷr a'i hofnant ef,
fo glyw eu llef, i'w gwared:
Fo rydd eu h'wyllys hwynt, a'u harch,
o'i wir barch, Ion gogoned.

20 Pob dŷn a garo 'r Arglwydd nef,
caiff ganddo ef ei 'mddiffyn:
A chan ddifetha, rhydd oes fer
i bob ysgeler cyndyn.
21 Fy enaid traethed fendith rwydd,
a mawl yr Arglwydd nefol:
A phob cnawd rhoed i'w enw (y Sant)
ogoniant yn drag'wyddol.

## PSALM CXLVI.

FY enaid, mola 'r Arglwydd nef;
2 Mi a'i molaf ef i'm bywyd:
Dangosaf glod i'm Harglwydd Dduw,
tra gallwyf fyw, neu symmud.
3 Na wnewch hyder ar d'wysogion,
nac ar blant dynion bydol:
Am nad oes ynddynt hwy i gŷd
na help nac iechyd nerthol.

4 Pan el y ffun o'r genau gwael,
a'r corph i gael daearlan:
Felly dychwel; fel dyna'r dydd
y derfydd ei holl amcan.
5 Y pryd hwn gwyn ei fyd efô
a roddo ei holl obaith
Ar Dduw Iago, yn gymmorth da,
pan el oddiyma ymaith.

6 Hwn Dduw a wnaeth nef, daear, môr,
a'r holl ystôr sydd ynddynt:
Hwn a sail yn ei wir ei hun,
pryd na bo un o honynt.
7 Yr hwn i'r gwael a rydd farn dda,
a bara i'r newynllyd:
Fe ollwng Duw y rheidus gwâr
o'i garchar ac o'i gaethfyd.

8 Yr Arglwydd egyr lygaid dall;
ef a dyr wall gwael ddynion:
Ymg'leddu'r gwan mae'n Harglwydd ni,
a hoffi y rhai cyfion.
9 Dieithriaid, a'r ymddifad gwan,
a'r weddw druan unig,
Duw a'u pyrth: ond dyrysu wnai
holl ffyrdd pob rhai cythreulig.

10 Yr Arglwydd yn teyrnasu a fydd,
dy Dduw tragywydd, Seion:
O oes i oes pery dy lwydd.
Molwch yr Arglwydd tirion.

## PSALM CXLVII.

MOLWCH yr Arglwydd; can's da yw
canu i Dduw yn llafar:
O herwydd hyfryd yw ei glod,
a da yw bod yn ddiolchgar.
2 Caersalem dinas gyflawn fydd;
yr Arglwydd sydd i'w darpar:
Gan gasglu Israël ynghŷd,
a fu trwy'r byd ar wasgar.

3 Yr unig Arglwydd sy'n iacháu
yn rhŷdd o friwiau'r galon:
Yr Arglwydd rhwym eu briwiau'n iawn,
y rhai dolur-lawn cleifion.
4 Yr Arglwydd sydd yn rhifo'r ser,
a phob rhyw nifer 'honynt:
Ef a'u geilw hwynt oll yn glau
wrth briod enwau eiddynt.

5 Mawr yw ein Harglwydd ni o nerth,
a phrydferth o rasoldeb:
Ac mae'n bell iawn uwch ben pob rhif,
son am ei brif ddoethineb.
6 Yr Arglwydd unig sydd yn dal
i gynnal y rhai gweiniaid:
Ac ef a ostwng hyd y llawr
y dorf fawr annuwioliaid.

7 Cenwch i'r Arglwydd mal y gwedd,
clodforedd iddo 'berthyn:
O cenwch, cenwch gerdd i'n Duw,
da ydyw, gyd â'r delyn.
8 Hwn a chymmylau toes y nen,
â gwlaw'r ddaearen gwlychodd.
I wellt gwnaeth dyfu ar y fron,
a llysiau i ddynion parodd.

9 Hwn i'r anifail ar y bryn
a rydd yr hyn a'i portho:
Fe bortha gywion y cigfrain,
pan fo'nt yn llefain arno.
10 Nid oes ganddo mewn grym un march:
na serch, na pharch, na phleser:
Nac mewn esgair, neu forddwyd gŵr;
fel dyna gyflwr ofer.

11 Yr Arglwydd rhoes ei serch ar ddyn
yr hwn y sy'n ei hoffi:
Ac sydd yn disgwyl cael ei nawdd,
caiff hwn yn hawdd ddaioni.
12 O Carsalem, gyflawn o lwydd,
molianna'r Arglwydd eiddod:
O Seion sanctaidd, dod, un wedd,
i'th Dduw glodforedd barod.

13 Herwydd yr Arglwydd, a'i fawr wŷrth,
a wnaeth dy byrth yn gryfion:
A rhoes ei fendith, a thyciant,
ym mhlith dy blant a'th wŷrion.
14 Hwn a roes heddwch yn dy fro,
fel y cynnyddo llwyddiant:
Ac a ddiwallodd yn eich plith,
o frasder gwenith, borthiant.

15 Ei orchymyn ef a ddenfyn,
o'i ddawnfawr, air cymhesur:
Hwn ar y ddaear â ar led,
ac yno rhed yn brysur.
16 Eirch i'r eira ddisgyn fel gwlan;
eirch rew, fe'i tan fel lludw:
17 Eirch iâ, fe ddaw yn defyll crî;
pwy 'erys oerni hwnnw?

18 Wrth ei air eilwaith, ar ei hynt,
fe bair i'r gwŷnt och'neidio,
I doddi'r rhai'n: ac felly bydd
i'r holl afonydd lifo.
19 Grym ei air, a'i ddeheulaw gref,
a ddengys ef i Iago:
A'i ffyrdd a'i farn i Israël,
a'r rhai a ddêl o hono.

20 Ni wnaeth efe yn y dull hwn
â neb rhyw nasiwn arall:
Ni wyddent farnau'r Arglwydd nef;
O molwch ef yn ddiball.

## PSALM CXLVIII.

O Molwch yr Arglwydd o'r nef,
rhowch lef i'r uchel leoedd:
2 Molwch hwn holl angylion nef,
molwch ef ei holl luoedd.
3 Yr haul, a'r lleuad, a'r holl ser,
y gloywder, a'r goleuni:
4 Nef y nefoedd, a'r ffurfafen,
a'r deifr uwch ben y rheini;

5 Moliannant enw'r Arglwydd nef;
hwynt â'i air ef a wnaethpwyd:
D'wedodd y gair, a hwy, fel hyn,
ar ei orchymyn, crewyd.
6 Rhoes reol iddynt i barhau,
fel deddfau byth i'w dilyn:
Rhoes bob peth yn ei le'n ddi os,
nad elo dros ei derfyn.

7 Molwch yr Arglwydd o'r ddaear,
chwychwi ystrywgar ddreigiau:
8 Y tân, a'r cenllysg, eira, a tharth,
a'r gwŷnt o bob parth yntau;
9 Mynyddoedd, bryniau, ffrwythlon wŷdd,
a'r tirion gedrwŷdd brigog:
10 Anifeiliaid, ac ymlusgiaid maes,
ac adar llaes asgellog.

11 Brenhinoedd daear, barnwŷr byd,
swyddwŷr ynghŷd â'r bobloedd:
12 Gwŷr ieuainge, gwŷryfon, gwŷr hen,
pob bachgen ym mhob oesoedd;
13 Molant ei enw ef ynghŷd;
uchel a hyfryd ydoedd:
Ei enw ef fydd uchel ar
y ddaear oll, a'r nefoedd.

14 Can's corn ei bobl a ddyrchafawdd,
yn fawl a nawdd i'r eiddo:
I Israel, ei etholedig,
a drig yn agos atto.

## PSALM CXLIX.

CENWCH i'r Arglwydd, ac iawn fydd,
ryw ganiad newydd rhyfedd:
A chlywer ynghyn 'lleidfa'r saint
ei fawr fraint, a'i orfoledd.
2 Boed Israel lawen a ffraeth
yn Nuw, a'i gwnaeth yn ddibrin:
A byddant hyfryd blant Seion
yn Nuw, eu tirion Frenhin.

3 Molant ei enw ar y bibell,
a thympanell, a thelyn:
4 Can's boddlon yw i'w bobl i gyd;
rhydd iechyd i'r lledneis-ddyn.
5 I'w saint ef doed gorfoledd iawn,
a hon yn llawn gogoniant:
Yn eu gwelâu (yn llawen ddull)
ac yn eu 'stefyll, canant.

6 Yn eu genau bydd cerdd bob awr
ein Duw, a'i fawr ryfeddod:
Ac yn eu dwylaw bydd i'w drin
y cleddyf deufin parod;
7 Ar estroniaid i'n dial ni,
ac i gosp-boeni'r bobloedd:
8 I roi mewn caethiwed cadwyn dro,
i rwymo eu brenhinoedd;

I roi eu pendefigion chwyrn
mewn gefyn heyrn ffyrnig:
9 I wneuthur arnynt union farn,
yn gadarn 'sgrifenedig.
Dyma'r glan ardderchowgrwydd fydd
i'w saint y sydd yn credu:
Clodforwch oll yr Arglwydd nef,
O molwch ef, am hynny.

## PSALM CL.

MOLWCH Dduw yn ei gyssegr le:
sef ei ffurfafen nerthol:
2 Molwch ef i'w gadernid llym,
ac amlder grym rhagorol.
3 Ar lais udgorn chwi rowch y mawl hyn
a nabl, telyn, tympan:
4 Molwch chwi ef â llawn glod glau,
â thannau, pibell, organ.

5 Ar y symbalau molwch ef,
a'r rhai'n â'u llef yn sein-gar:
O molwch ef â moliant clau
ar y symbalau llafar.
6 Holl bethau molent un Duw byth,
sydd ynddynt chwyth y bywyd:
Rhoent gyd-gerdd foliant i barhâu;
clodforwn ninnau hefyd.

## TERFYN PSALMAU DAFYDD.

# E M Y N A U.

*Veni Creator.*

TYR'D, Yspryd Glân, i'n c'lonnau ni,
 a dod d' oleuni nefol:
Tydi wyt Yspryd Crist, dy ddawn
 sy fawr iawn a rhagorol.

Llawenydd, bywyd, cariad pur,
 ydynt dy eglur ddoniau:
Dod eli 'n llygaid, fel i'th [illegible]nt,
 ac ennaint i'n hwynebau.

Gwasgara di 'n gelynion trwch,
 a heddwch dyro inni:
Os T'wysog i ni fydd Duw Ner,
 pob peth fydd er daioni.

Dysg in' adnabod y Duw Tad,
 y gwir Fab rhad, a Thithau:
Yn un trag'wyddol Dduw i fod,
 yr hynod dri Phersonau.

Fel y molianner, ym mhob oes,
 y Duw a roes drugaredd:
Y Tad, y Mab, a'r Ysprydd Glân;
 da daigan ei anrhydedd.

*Neu fel hyn.*

TYR'D, Ysprvd Glân, trag'wyddol Dduw,
 yr unrhyw â'r Tad nefol:
Yr unrhyw hefyd â'r Mab rhad,
 Duw cariad tangnefeddol.

Llewyrcha 'n c'lonnau ni â'th ras,
 fel byddo gas in' bechu:
Ac i ni, mewn sancteiddrwydd rhŷdd,
 bob dydd dy wasanaethu.

Y Diddanydd wyt ti yn wir
 ym mhob rhyw hir orthrymder:
Dy holl ddaioni di, a'th glod,
 â thafod ni adrodder.

Y Ffynnon i 'r llawenydd glân,
 y gloywlwys Dân cariadol:
Ac i 'r Enneiniad, mawr ei les,
 sy 'n rhoddi gwres ysprydol.

Dy ddoniau di ŷnt aml a dwys,
 y rhai i'th eglwys rhoddi:
Yngh'lonnau pur, dy ddeddf ddilŷs
 tydi â'th fys 'sgrifeni.

Tydi addewaist ddysgu, Ion,
 dy weision i lefaru:
Fel ym mhob man y caffo 'n rhwydd
 yr Arglwydd ei foliannu.

O Ysprydd Glân, i'n c'lonnau ni
 y gwir oleuni danfon:
A hefyd zel, tra fom ni byw,
 i garu Duw yn ffyddlon.

Ein gwendid nertha di, O Dduw,
 (mawr ydyw ein breuolder)
I ddiafol, i 'r byd, na chwaith i 'r cnawd,
 na fyddom wawd un amser.

Gyr ein gelynion yn eu hol;
 bydd di heddychol â ni:
Gwna i bob dŷn ein caru 'n bur,
 (mael eglur a fydd hynny.)

Ein T'wysog wyt, O Arglwydd mau,
 rhag maglau pob rhyw bechod:
A rhag llithro oddiwrthyt mwy,
 cynhorthwy bydd in' parod.
Dod fesur mawr o'th ras yn rhwydd,
 O Arglwydd Dduw goruchaf:
Diddanwch i ni felly bydd
 yn y brawd-ddydd diweddaf.

I ffoi ymbleidiau cecreth cas,
 dod i ni ras, Dduw nefol:
Dod gariad, a thangnefedd mad,
 ym mhob rhwy wlad Grist'nogol.

Attolwg i ti, dyro rad,
 y Tad i ni adnabod:
A'r Arglwydd Iesu, ei Fab hael;
 ac yn y nef cael canfod,

A chyffesu, â pherffaith ffydd,
 Dydi bob dydd yn ddiau:
Ysprydd y Tad a'r Mab wyt ti,
 un Duw, ond tri Phersonau.

I'r Tad, i 'r Mab, i 'r Ysprydd Da,
 un gogyd a gogyfuwch,
Bid moliant: hwn yw 'r gwir Dduw nef,
 ei enw ef bendithiwch.

A bid i'n hunig Arglwydd Dduw
 fod gwiw ganddo roi 'n hylwydd,
I bob rhyw Gristion yn y byd,
 ei Ysprydd yn dragywydd.

*Cân Sant* Ambros, *neu* Te Deum.

TYDI (O Dduw) a folwn ni;
 addefwn di yn Arglwydd;
Y ddaear oll (drag'wyddol Dad)
 gwna it' addoliad hylwydd.
Arnat ti holl angylion nef
 a ront eu llef heb dewi:
Y nefoedd hefyd oddiar hyn,
 a'r nerthoedd sy'n y rheini.

Cherub a seraphin a fydd
 yn llefain beunydd attat:
Sanct, Sanct, Sanct, Arglwydd saboth glân;
 fel hyn y galwan' arnat.
Nefoedd a daear sydd yn llawn
 o'th wirddawn, a'th ogoniant:
Yr apostolion, hyfryd gôr,
 a ron' it' ragor foliant.

Moliannus rif y prophwydi
 sy'th foli o'r dechreuad:
A'r merthyron, ardderchog lu,
 sydd i'th foliannu'n wastad.
Dy eglwys wir gatholig lân,
 (hon sydd ar dan trwy 'r hollfyd)
O Arglwydd, a'th addola di,
 yn Un ac yn Dri hefyd.

Y Tad o anfeidrol Fawredd,
 gwir Fab gogonedd unig:
A hefyd y Glân Ysprydd pur,
 sydd i ni 'n gysur diddig.
Ti wyt (O Grist, yr unig Sant)
 Frenhin gogoniant grasol:
Wyt hefyd i 'r trag'wyddol Dad
 yn wir-Fab rhad trag'wyddol.

Pan gym'raist arnat wared dŷn
 o feddiant gelyn anfwyn:

Dïystyr gennyt ti ni bu
  dy eni o fru y forwyn.
Pan sethraist angau, teyrnas nef,
  i bob ffydd gref, agoraist:
Yngogoniant yr hael-Dad byw,
  ar ddeau Duw, eisteddaist.

Credu yr ŷm, â disigl ffydd,
  mai ti fydd Barnwr arnom:
Am hyn, er ein cynnorthwyaw,
  bid dy ddeheulaw drosom.
Dy bobl di ŷm (O Dduw ein nerth)
  prid werth dy waed sancteiddiol:
Par gael ein cyfrif gyd â'th saint
  mewn gogoniaint tragwyddol.

Cadw dy bobl (O Arglwydd da)
  bendithia d'etifeddiaeth:
Dyrcha hwynt byth, gwna iddynt fod
  dan gysgod dy lywodraeth.
O ddydd i ddydd y'th glodforwn;
  mawrygwn dy enw bythoedd:
Teilynga ein cadw ni heddyw
  rhag pechu (O Dduw 'r lluoedd.)

O Arglwydd, wrthym trugarhâ;
  trugaredd gwna â'r eiddod:
Dy serch di arnom fywynned;
  bydd ein hymddiried ynod.
Mewn dim nid ymddiriedais i,
  ond ynot ti (O Arglwydd)
N'ad byth im' g'wilydd achos hyn,
  O Dduw, na derbyn gw'radwydd.

*Cân y tri Llange, neu* Benedicite opera omnia.

CHWI holl weithredoedd Arglwydd nef,
  bendithiwch ef, ein Llywydd:
Gogoneddwch, a chlodforwch,
  mawrygwch yn dragywydd.
Chwi yr angylion glân o'r nef,
  moliennwch ef yn hyfryd:
Chwithau nerthoedd, a ffurfafen,
  a'r dyfroedd uwch ben hefyd.

Chwithau nefoedd mawr, haul, a lloer,
  cawodau oer, a gwyntoedd:
Chwi dân a gwres, gauaf a haf,
  a gwlith araf o'r nefoedd.
Chwithau oerfel, non tirni, ac iâ,
  a rhew, ac eira tewdrwch:
Chwi nosweithiau a dyddiau, chwi
  oleuni a thywyllwch.

Mellt, cymmylau, a daear gron,
  ac sydd ar hon yn tyfu:
Mynyddoedd uchel, a'r bryniau,
  a'r gloyw ffynhonnau obru.
Y moroedd, a'r llifeiriaint mawr,
  'r hŷd eigion llawr, a'u helynt:
Morfilod braisg, a physgod mân,
  y rhai a nofian' ynddynt.

Holl adar is yr awyr lân,
  a phob perchen adenydd:
Anifeiliaid maes, bwystfilod coed,
  i'r Arglwydd doed â'i gywydd.
Chwi holl ddynion, eu plant, a'u hil,
  a'u heppil daiohodedig:
Tŷ Israël yn unad un,
  ei bobl ei hun enwedig.

Chwi offeiriaid sydd i'w deml wen,
  a'i hollawl lawen weision:
Chwi 'sprydoedd ac eneidiau glân,
  a phawb sydd burlan galon.

Ananias, Asarias,
  y sy â'r awen dduwiol:
Tithau yn drydydd Misaël,
  o Israel ddewisol.

*Cân Zacharïus, neu* Benedictus.

68 HWN sydd dros Israel, Arglwydd Dduw
  bendigaid yw uwch oesoedd:
Am ymweled â'i ddor gu,
  ac am brynu ei bobloedd.
69 Yr hwn a roes gorn, a nerth faeth,
  yn iachawdwriaeth ddedwydd:
A'i godi i ni, o'i air a'i ras,
  o deulu ei was Dafydd.

70 Yr hwn addewid nid oedd gau
  o enau y prophwydi:
Y rhai oedd o ddechreu y byd;
  wele, ei gyd-gyflawni.
71 Sef, rhoe i ni 'r ymwared hon,
  rhag ein gelynion hynny:
A'n gwared o ddwylaw 'n holl gas;
  wel' dyna'i ras yn ffynnu.

72 Y rhoe nawdd i'n tadau nyni,
  a chofio'i sanct ddygymmod:
73 A'i lw i Abraham ein tad,
  yn rhwymiad o'r cyfammod.
74 Sef, gwedi 'n rhoddi ni ar led
  oddiwrth gaethiwed gelyn.
Cael heb ofn ei was'naethu ef,
  heb un llaw gref i'n herbyn.

75 Holl ddyddiau'n heinioes ger ei fron,
  yn union, ac yn sanctaidd:
Holl ddyddiau'n heinioes ger ei fron,
  yn union, ac yn sanctaidd.

76 Tithau, fab bychan, fo'th elwir
  yn Brophwyd i'r Goruchaf':
Can's ai o'i flaen, i barottói
  ei ffyrdd, a'n trei i'w noddfa;
77 I roi gwybodaeth i'w bobl ef,
  ddyfod o'i nef ag iechyd:
Trwy ei faddeuant i'n rhyddhâu
  oddiwrth bechodau enbyd

78 O ferion trugaredd Duw Dad,
  a'i ymweledìad tyner,
Tywynnodd arnom, ym mhob man,
  yr Haulgan o'r uchelder;
79 I roddi llewyrch disglair glod
  i rai sy 'nghysgod angau,
A chyfeirio ein traed i'w ol
  ar hŷd heddychol lwybrau.

*Cân* Mair *Forwyn, neu* Magnificat.

46 FY enaid a fawrhâ 'r Arglwydd;
  yr unswydd gwna fy yspryd:
47 Yr hwn ynot fi hyfryd yw,
  trwy gredu'n Nuw fy iechyd.
48 Can's edrychodd ar isel wedd,
  a gwneledd, ei law-forwyn:
A dedwydd fyth y gelwir fi
  gan bob rhieni addwyn.

49 Can's hwn sydd alluog Bennaeth,
  a'm gwnaeth i yn fawr hygar:
Bendigaid fyddo ei enw ef,
  yr Arglwydd nef a daear.
50 A'i drugaredd ef byth a sai'
  dros bob rhai a'r a'i hofnant:
51 A'r beilch gwasgarodd ef, â'i nerth;
  mae'n brydferth ei ogoniant.

52 Fe dynnodd y rhai cedyrn mawr
i lawr o'u holl gadernid:
Fe a gododd ac a fawrha'dd
y rhai isel-radd hefyd.

53 A phethau da y llanwodd rai
a fyddai yn newynog:
Ac ef a anfonodd yn wag,
trwy nâg, y rhai goludog.
54 Fe helpiodd Israel ei was,
gan gofio 'i ras a'i ammod:
55 I'n tadau (Abraham a'i had)
hyd byth, a'i rad gyfammod.

*Cân Simeon â'r Iesu yn ei freichiau, a elwir* Nunc dimittis.

29 ARGLWYDD, bellach gollwng dy was
mewn heddwch, addas ymy:
Yn ol dy air, hwn oedd ynghŷd
â'm hyspryd i'm diddanu.
30 Can's gwelais i â'r golwg hyn
y Crist a bryn ein hiechyd:
31 Hwn a roist i ni yn Arglwydd,
a hyn yngŵydd yr hollfyd.

32 Hwn a osodaist di yn ddrych,
i lewych i'r Cenhedloedd:
Hefyd i Israël dy blant
yn ogoniant byth bythoedd.

*Neu fel hyn.*

29 WRTH d'air caf bellach, Arglwydd cu,
ymadu yn heddychlon:
30 Canys i'm golwg i y daeth
dy iachawdwriaeth dirion.
31 Hon a ddarperaist yn ddi-ddrwg,
yngolwg pawb o'r hollfyd:
32 Yn oleu i'r byd, i Israel blant
yn fawr ogoniant hyfryd.

*Gweddi'r Arglwydd, neu* Pater noster.

EIN Tad o'r nef, ein Duw a'n Rhi,
dy Enw di sancteiddier:
Dy deyrnas hylwydd doed i'n plith,
trwy rad dy fendith dyner.
Bid d'wyllys ar y ddae'r yn gref
fel mae'n y nef heb ballu:
I ni rho heddyw fara i'n bol,
beunyddiol i'n diwallu.

Ein holl ddyledion maddeu di,
fel yr ŷm ni yn erfyn:
Gan roi maddeuant i bob rhai
a wnel ar fai i'n herbyn.
I Brofedigaeth byth na'n dwg,
ond rhag pob drwg gwna'n gwared:
Can's ti bïau'r deyrnas, nerth, a'r mawl,
byth yn drag'wyddawl drwydded. *Amen.*

*Credo'r Apostolion.*

YN Nuw Dad, Creuwr dae'r a nef,
â gwir ffydd gref y credaf:
Ac yn ei Fab ef, Crist ein mŷd,
a gaed o'r Yspryd glanaf.
O'r Wŷryf Fair y ganed hwn;
dan Bilat trwm ddioddefodd:
Marw, claddwyd, bu'n uffern gaeth;
dydd trydydd aeth i'r nefo'dd.

Lle ar ddeheu-law Duw ei Dad,
mae ei eisteddiad cyson:
Oddiyno daw, yn niwedd byd,
i'n barnu ' gŷd yn gyfion.
Yn 'r Yspryd Glân mae 'nghred a'm ffydd,
a'r Eglwys sydd Gatholig:

Cyfundeb Saint wy'n gredu fod;
maddeuant pechod ystig.

Gwir adgyfodiad bydd i'n cnawd
pan ddêl dydd-brawd i'n barnu:
A bywyd perffaith hir di-dawl
trag'wyddawl i'w feddiannu.

*Y Dengair Deddf.*

DUW a lefarodd y ddeddf hon
ar g'oedd ger bron y dyrfa:
Gan dd'we'yd, Myfi yw'th Dduw, dy Ior,
a'th dynnodd o'r cyfyngdra.
Duwiau eraill ger fy mron i
na fid i ti eu gwneuthur:
Cerfiedig ddelw i ti dy hun
na wna, na llun creadur.

Na llun dim arall a'r y sy
'n y nefoedd fry, i'w 'ddoli:
Nac yn y ddaear isod faith,
na'r dw'r, na'r gwaith sydd ynddi.
Nid ynt ond pethau dilesâd;
na wna ymgrymmiad iddynt:
Ac na addola'r fath lwth gwael;
'does borth i'w gael oddiwrthynt.

Can's mi yw'r Arglwydd Naf, dy Bor,
a'th gadarn Ior haelionus:
A myfi hefyd (cofia, clyw)
yw d'Arglwydd Dduw eiddigus.
Wyf yn ymwel'd â phechod cant
o dadau'r plant anynad,
I'r drydedd a'r bedwaredd oes
o'r rhai nid oes diwygiad.

Yn trugarhâu wrth blant a hil,
hyd fil o genhedlaethau,
Y rhai a'm carant i yn gu,
a gadwant fy nghyfreithiau.
Na chymmer Enw Duw yn swrth,
yn ofer wrth ymbyngcio:
Can's nid dieuog gan Dduw Ner
yn ofer a'i cymmero.

Sancteiddia byth y Sabboth maith:
gwnai dy holl waith prïodol
O fewn chwe dydd; a'r seithfed yw
Sabboth dy Dduw'n bennodol.
Na wna'r dydd hwnnw waith trwy serch,
na'th fab, na'th ferch, na'th weision,
Na'th forwyn, na'r anifail syrth
o fewn dy byrth yn gyfion.

Can's mewn chwe dydd y gwnaeth Duw Ior
nef, daear, môr, ac s' ynddynt:
Sancteiddiodd ef y seithfed dydd,
a'i fendith sydd i'r eiddynt.
Rho barch anrhydedd ar bob cam
i'th dad a'th fam yn berffaith:
Fel y bo iti einioes hir
i fyw ar dir dy ymdaith.

Na ladd. Na wna odineb chwith.
Na lladrad byth anfoddog.
Na ddwg gam dyst, er bâr na brŷn,
yn erbyn dy gymmydog.
Ac na chwennych byth mo ei dŷ,
na 'i wraig sy 'n gu i'w fynwes,
Na'i was, na'i ŷch, na 'i forwyn wen,
na'i asen sy 'n ei loches.

*O Arglwydd, wrthym trugarhâ,*
*a gwna ni gadw 'th ddeddfau:*
*Ac ysgrifena di 'r ddeddf hon*
*yn eigion ein calonnau.*

*Galarnad Pechadur.*

*I'w ganu fel y chweched Psalm.*

NA thro dy wyneb, Arglwydd glân,
oddiwrth un truan agweddl,
Y sydd o flaen dy borth yn awr
mewn cystudd mawr yn gorwedd.
Yr wyf yn gorwedd wrth dy ddor;
attolwg egor imi:
Er bod fy muchedd yn ddi-rôl,
'rwy'n edifeiriol, gweli.

Na alw mo'nof fi ger bron,
i roddi union gyfrif:
Yr wy'n cydnabod, fy Nuw hael,
y bywyd gwael oedd gennif.
Nid rhaid i mi addef ychwaith
bob enwir waith fu rydost:
Y sut a'r modd yr oedd fy nghlwyf,
ac fel yr wyf, ti wyddost.

Ti wyddost sydd yn awr, Dduw cu,
a'r hyn a fu yn fanwl:
Ti wyddost hefyd beth a ddaw;
mae ar dy law di 'r cwbwl.
Ti wnaethost nefoedd yn un mau,
a daear dan wybrennau:
Ti wyddost beth fydd wedi hyn,
a pheth oedd cyn y dechrau.

Ac felly fy holl feiau i
byth rhagot ti ni chuddiwyd.
O ti a'u gwyddost hwynt i gyd,
y lle a'r pryd y gwnaethpwyd.
Trwy ddeigr hallt y dof fi, am hyn,
i erfyn a dymuno:
Megis y bachgen a wnai ddrwg,
yn ofni gwg i'w guro.

Felly y deuaf at dy borth,
i ddisgwyl cymmorth ddigon:
Sef dy drugaredd, i lanhâu
fy holl welïau budron.
Y peth a geisiaf sy rodd wych,
nid rhaid mo'i mynych henwi:
Tydi a'i gwyddost, fy Nuw gwyn,
cyn darfod gofyn iti.

Trugaredd, f' Arglwydd, heb ddim mwy,
yw 'r cwbwl 'rwy'n ei geisio:
Trugaredd yw fy newis lwydd;
trugaredd, f' Arglwydd, dyro.

*Yr Emyn osodedig gan yr Eglwys i'w chanu ar ol y Cymmun.*

I Ddaw gogoniant fyth a fo,
sy fry'n y goruchafion:
Bid ar y ddae'r tangnefedd rhad,
ewyllys mad i ddynion.
Tydi, O Dduw, a folwn ni,
Bendithiwn di 'n dragywydd:
Addolwn, gogoneddwn byth,
dy Enw dilyth dedwydd.

I ti diolchwn, Dduw, bob awr,
am dan dy fawr ogoniant:
O nefol Dad, Ior Frenhin cu,
Duw, Hollalluog feddiant.
Duw, Arglwydd Iesu Grist, Fab rhad
unig y Tad, anedig:
Oen Duw, Fab Nef, sy 'n tynnu i gyd
bechodau 'r byd yn ddiddig.

Ti sy'n dileu pechodau 'r byd,
maddeu i ni 'gyd ein beiau:
Dilêu pechodau 'r wyt, Dduw Rhi;
Crist, derbyn di 'n gweddïau.
Ti 'r hwn wyt ar ddeheu-law 'r Tad,
y gwir Fab rhad sancteiddiol,
Ti 'r hwn wyt unig Arglwydd Ddow,
ein gweddi clyw 'n dosturiol.

Ti'n unig, sanctaidd Grist, bob pryd,
gyd â'r Glân Yspryd haelaf,
Wyt yngogoniant y Duw Tad,
yn wastad, y Goruchaf. *Amen.*

*Emyn i'w chanu mewn Cynhebrwng, neu Wylnos.*

MYFI yw 'r Adgyfodiad mawr;
myfi yw Gwawr y bywyd:
Caiff pawb a'm cred, medd f' Arglwydd Dduw,
er trengu, fyw mewn eilfyd.
A'r sawl sy'n byw mewn ufudd gred
i mi, caiff drwydded nefol,
Na allo 'r angau, brenhin braw,
ddrwg iddaw yn dragwyddol.

Yn wir, yn wir, medd GWIR ei hun,
pob cyfryw ddyn sy'n gwrando
Fy Ngair, gan gredu 'r Tad a'm rhoes,
mae didrangc einioes ganddo.
A wnel ei oreu 'r ufuddhâu
trwy ffydd i'm geiriau hyfryd;
Ni ddaw i farn, ond trwodd f' aeth
o angau caeth i fywyd.

Mi wn, medd Job, o'r cynfyd cudd,
mai byw'm Gwaredydd hawddgar:
Mi wn y daw fy Mhrynwr drud
ar ddiwedd byd i 'r ddaear.
Ac er fy mod i'n awr mewn poen,
ac wedi 'nghroen, i 'r pryfed
Ddifetha hefyd fy nghorph hwn,
er hynny gwn caf weled

Y Duw anfeidrol, yn fy nghnawd,
a'r ddydd gollyngdawd seintiau:
A'm llygaid i fy hun a'i gwel
a'r dirion uchelderau.
Ac medd Sant Ioan, a fu'sai'n nês
â'i ben ar Fynwes IESU,
O wynfydedig entrych nef
mi 'glywais lef yn traethu,

'Sgrifena, O hyn allan mai
gwyn fyd y rhai a fu feirw
Yn ffydd yr Arglwydd, gwyn eu byd
o'r glân ddiwedd-bryd hwnnw.
Felly dywaid yr Yspryd Glan;
Can's maent yn diddan orphwys
Oddiwrth eu llafur, mewn rhyddhâd
dedwyddol 'stad Paradwys.

Na fyddwn anobeithiol drist
am neb yng Nghrist a hunant,
Medd Paul: o'r corph maent gyd ag ef,
ynghartref y gogoniant.
Os mynnwn, fel na ddug ond hûn
yspryd ein dyn at seintiau:
Mewn ennyd bach cawn ninnau hûn
a'n dwg i 'r un trigfannau.

*Gloria Patri.*

GOGONIANT fyth a fo i 'r Tad,
i 'r Mab rhad, a'r Glân Yspryd:
Fel y bu, y mae, ac y bydd,
un Duw tragywydd hyfryd.

*Ac fel hyn ar ol Psalm li, a lxvii.*

GOGONIANT fo i 'r Tad,
i 'r Mab rhad, a'r Glân Yspryd:

Fel y bu, y mae, ac y bydd,
Un Duw tragywydd hyfryd.

*Ac fel hyn ar ol Psalm c.*

GOGONIANT, moliant, parch, a bri,
i'r Un a Thri, trag'wyddol fyth:
Y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân,
fal gynt, tra bo na chân na chwŷth.

*Ac fel hyn ar ol Psalm* cxiii, *a* cxiv.

GOGONIANT fyth a fyddo i'r Tad;
A bid gogoniant i'r Mab rhad;
i'r Yspryd Glân, gogoniant fo:
Megis gynt yn y dechreu 'r oedd,
Ac y bydd byth yn oes oesoedd.
D'wedwn, Amen, poed felly bo.

---

## TABL i ddangos pa le y ceir pob un o'r PSALMAU, wrth eu Dechreuad a'u Rhifedi.


| A | *Psalm* |
|---|---|
| ACHUB fi, Dduw, yr hwn a'm gwnaeth | 69 |
| Addewais gadw 'ngenau 'n gu | 39 |
| Ai 'r uniondeb, O bobloedd wŷch | 58 |
| A ofno 'r Arglwydd, gwŷn ei fyd | 128 |
| Arglwydd, clyw 'ngweddi yn ddiball | 5 |
| Arglwydd, manwl y chwiliaist fi | 139 |
| Attad (Ion fy nerth) y rhof lef | 28 |
| **B** | |
| Barn fi, O Dduw, a chlyw fy llais | 26 |
| Barn, fi, O Dduw, a dadleu 'n dynn | 43 |
| Bendigaid fo 'r Arglwydd fy nerth | 144 |
| Bûm yn dyfal ddisgwyl fy Ner | 40 |
| **C** | |
| Cadw fi, Dduw; can's rhois fy mhwys | 16 |
| Cenwch, a churwch ddwylaw 'nghyd | 47 |
| Cenwch i 'r Arglwydd, ac iawn fydd | 149 |
| Cenwch i 'r Arglwydd newydd gân | 98 |
| Clodforaf fi fy Arglwydd Ion | 9, 111 |
| Clodfored pawb yr Arglwydd nef | 105 |
| Clodforwn di, drag'wyddol Dduw | 75 |
| Clyw, di Fugail i Israël | 80 |
| Clywsom â'n clustiau, O Dduw cu | 44 |
| Credaf i'r Arglwydd yn ddi nam | 11 |
| Chwi weision Duw, molwch yr Ion | 113 |
| **D** | |
| Da gennyf wrando o'r Arglwydd nef | 116 |
| Dangos, fy Nuw, fy Nuw a'm grym | 22 |
| Datganaf drugaredd a barn | 101 |
| Datgan y nefoedd fawredd Duw | 19 |
| Da wyt i'th dir, Jehofa Ner | 85 |
| Dedwyddol yw mewn buchedd dda | 112 |
| Diolchaf fi â chalon rwydd | 34 |
| Disgwyliaf o'r mynyddoedd draw | 121 |
| Duw, buost in' yn Arglwydd da | 90 |
| Duw, dod i 'r Brenhin farn o'r nef | 72 |
| Duw, dy nawdd im' rhag marwol ddyn | 56 |
| Duw fy nghyfiawnder, clywaist fi | 4 |
| Duw prysura i'm gwared i | 70 |
| Duw y duwiau, yr Arglwydd cu | 50 |
| Duw, yn d' enw cadw fi'n dda | 54 |
| D'wedai 'r Arglwydd wrth f' Arglwydd mau | 110 |
| D'wedai 'r ynfyd wrtho ei hun | 53 |
| Dy babell di mor hyfryd yw | 84 |
| Dyma 'r amser yn ddi ymgêl | 124 |
| Dy ras, dy nawdd, fy Nuw, im' dod | 57 |
| Dywaid i mi, pa ddyn a drig | 15 |
| **E** | |
| Erglyw fy arch, O Arglwydd mad | 143 |
| Erglyw, O Dduw, fy llefain i | 61 |
| **F** | |
| F' Arglwydd, dyrchefais f' enaid i | 25 |
| F' Arglwydd, mi a'th fawrygaf di | 30 |
| Fy Arglwydd, na cherydda fi | 38 |
| Fe dd'wedai 'r ynfyd, nad oes Duw | 14 |
| Fy enaid mawl Sant Duw yr Ion | 103 |
| Fy enaid, mola 'r Arglwydd byw | 104 |
| Fy enaid, mola 'r Arglwydd nef | 146 |
| Fy llais at Dduw, pan roddais lef | 77 |
| Fy mhobl i gŷd, gwrandêwch fy neddf | 78 |
| Fy Nuw, gwareda fi rhag brad | 59 |
| Fy unig Dduw ydyw fy mhlaid | 62 |
| **G** | |
| Gobaith a nerth in' yw Duw hael | 46 |
| Gostwng, O Arglwydd, y glust dau | 86 |
| Gwrandawed di yr Arglwydd Ner | 20 |
| Gwrandêwch chwi y bobloedd i gŷd | 49 |
| Gwyn ei fyd yr ystyriol frawd | 41 |
| **H** | |
| Holl farnwŷr byd mae Duw 'n eu mysg | 82 |
| **I** | |
| I dŷ 'r Arglwydd pan dd'wedent, Awn | 122 |
| I'm hing y gelwais ar f' Arglwydd | 120 |
| I 'r Arglwydd cenwch lafar glod | 100 |
| I ti, O Dduw, y gweddai mawl | 65 |
| **Ll** | |
| Llawer cenedl, O Dduw, a ddaeth | 79 |
| Llawer gwaith cefais gystudd mawr | 129 |
| **M** | |
| Mawr ei enw 'n ninas ein Duw | 48 |
| Mi a 'mddiriedais ynod, Ner | 31, 71 |
| Mi a'th fawrygaf di, fy Nuw | 145 |
| Moliannu 'r Arglwydd, da iawn yw | 92 |
| Molwch Dduw yn ei gyssegr len | 150 |
| Molwch yr Arglwydd; cans da yw | 106, 107, 118, 136, 147 |
| Myfyriaf gerdd byth i barhâu | 89 |
| **N** | |
| Na ddala ddrygddyb yn dy ben | 37 |
| Na ostega, na thaw, na fydd | 83 |
| Nid ini, Arglwydd, nid i ni | 115 |
| **O** | |
| O achub bellach, Arglwydd cu | 12 |
| O achub fi, fy Nuw, fy Ner | 7 |
| O Arglwydd, amled ydyw 'r gwŷr | 3 |
| O Arglwydd Dduw, Duw mawr ei rym | 94 |
| O Arglwydd Dduw, erglyw fy llef | 64 |
| O Arglwydd, ein Ior ni a'n nerth | 8 |

| | Psalm |
|---|---|
| O Arglwydd, erglyw fy ngweddi | 102 |
| O Arglwydd, na cherydda fi | 6 |
| O Arglwydd, pa'm y sefi di | 10 |
| O Arglwydd, yn dy nerth a'th rin | 21 |
| O brysia, Arglwydd, clyw fy llais | 141 |
| O cenwch fawl i Dduw ein nerth | 81 |
| O cenwch fawl i'r Arglwydd nef | 117 |
| O cenwch glod i'r Arglwydd mad | 96 |
| O clyw gyfiawnder, Arglwydd mad | 17 |
| O cofia Ddafydd, fy Nuw Ner | 132 |
| O dowch a chanwn i'r Arglwydd | 95 |
| O Dduw, tydi a'n gwrthodaist | 60 |
| O Dduw fy iechyd, nos a dydd | 88 |
| O Dduw fy moliant i, na thau | 109 |
| O Dduw, gwrando fy ngweddi brudd | 55 |
| O Ior fy ngrym, caraf di 'n fawr | 18 |
| O molwch enw'r Arglwydd nef | 135 |
| O molwch yr Arglwydd o'r nef | 148 |
| O'r dyfnder gelwais arnat, Ion | 130 |

P

| | |
|---|---|
| Paham, O Dduw, oddiwrthym ni | 74 |
| Paham y terfysg gwŷr y byd | 2 |
| Pa hŷd, fy Arglwydd Dduw dilŷth | 13 |
| Pa'm y rhodresi yn dy frad | 52 |
| Pan ddaeth Israel o'r Aipht faith | 114 |
| Pan ddychwelodd ein gwir Dduw Ion | 126 |
| Pan oeddym gaeth yn Babilon | 137 |
| Pa rai bynnag, yn Nuw yr Ion | 33 |
| Parod yw fy nghalon, O Dduw | 108 |
| Pleidia, O Arglwydd, yn fy hawl | 35 |
| Pob cyfryw ddyn y sydd a'i daith | 119 |

Rh

| | |
|---|---|
| Rhag y gwr drwg gwared fi, Ner | 140 |
| Rhof fawrglod iti, fy Nuw Ion | 138 |
| Rhois weddi ar yr Arglwydd nef | 142 |
| Rhowch i'r Arglwydd, a rhowch yn chwyrn | 29 |

S

| | |
|---|---|
| Sawl a 'mddiriedant yn Nuw Ion | 125 |
| Seilfeini hon, sef Seion, sydd | 87 |

T

| | |
|---|---|
| Teyrnasu y mae yr Arglwydd | 93 |
| Traethodd fy nghalon bethau da | 45 |
| Trugaredd dod i mi | 51 |
| Trugaredd Dduw i'n plith | 67 |
| Tuedda 'ngolwg at y nef | 123 |
| Tydi, O Dduw, yw y Duw mau | 63 |

W

| | |
|---|---|
| Wele, fod brodyr yn byw 'nghyd | 133 |
| Wele, holl weision Arglwydd nef | 134 |
| Wrth gamwedd dŷn annuwiol sur | 36 |

Y

| | |
|---|---|
| Ymgyfoded un Duw ein Ner | 68 |
| Yn fy nghalon ni bu falch chwŷdd | 131 |
| Yn Juda ac Israel dir | 76 |
| Yn Nuw ymlawenhéwch i gŷd | 66 |
| Y tŷ ni adeilado'r Ner | 127 |
| Yr Arglwydd Dduw yw ein Brenhin | 99 |
| Yr Arglwydd piau'r ddaear lawr | 24 |
| Yr Arglwydd ydyw ein pen rhaith | 97 |
| Yr Arglwydd yw fy Mugail clau | 23 |
| Yr Arglwydd yw fy ngolau 'gŷd | 27 |
| Yr unwedd ag y bref yr hydd | 42 |
| Y sawl a drigo, doed yn nes | 91 |
| Y sawl ni rodia, dedwydd yw | 1 |
| Y sawl sy deilwng, gwŷn ei fyd | 32 |
| Ys da yw Duw i Israel | 73 |


## TABL YR EMYNAU.


VENI *Creator.*
*Cán Sant* Ambros, *neu* Te Deum.
*Cán y tri Llange, neu* Benedicite opera omnia.
*Cán* Zacharïas, *neu* Benedictus.
*Cán* Mair *Forwyn, neu* Magnificat.
*Cán* Simeon, *neu* Nunc dimittis.
*Gweddi'r Arglwydd, neu* Pater noster.
*Credo'r Apostolion.*
*Y Dengair Deddf.*
*Galarnad Pechadur.*
*Emyn i'w chanu ar ol y Cymmun.*
*Emyn i'w chanu mewn Cynhebrwng, neu Wŷlnos.*
*Gloria Patri.*

# GWEDDIAU.

## FFURF GWEDDI I'W HARFER MEWN TEULU, FORE A HWYR.

### *Boreuol Weddi.*

HOLL-alluoccaf Dduw a thrugaroccaf Dad, nid ydym ni yn ymgynnyrcholi yma ger bron dy Fawredd di, gan ymddiried yn ein haeddiant a'n teilyngdod ein hunain, eithr yn dy aml Drugaredd di, yr hwn a addewaist wrando ein gweddïau, a chaniattâu ein gofynion a gyfeiriom attat yn Enw dy anwyl Fab Iesu Grist ein Harglwydd, yr hwn hefyd a orchymynodd i ni ymgynnull yn ei Enw ef, mewn gwir-ddïogel sicrwydd y bydd efe nid yn unig yn ein canol ni, eithr hefyd yn Gyfryngwr a Dadleuwr drosom at dy Fawredd di, modd y caffom bob peth a welo'th fendigedig Ewyllys di fod yn fuddiol i'n hangenrheidiau ni. Ni a attolygwn i ti gan hynny, drugaroccaf Dad, droi dy Wyneb caredig tu ag attom, ac na chyfrifech i ni ein haml bechodau a'n hanwiredd, herwydd pa rai yr ŷm o wir gyfiawnder yn haeddu dy ddigofaint a'th dostlym gospedigaeth, eithr yn hytrach derbyn ni i'th Drugaredd, er mwyn Iesu Grist, yn yr hwn yn unig y'th foddlonir; gan gymmeryd ei Angau a'i Ddïoddefaint ef, trwy ba un ni elli fod yn ddig wrthym, megis cyfiawn daledigaeth am ein holl anwireddau ni. A chan ddarfod i ni, trwy dy ddirfawr Drugaredd di, dreulio'r nos hon mewn llonyddwch a dïogelwch, caniattâ, O nefol Dad, fod i ni roi allan y dydd hwn yn hollol yn dy Wasanaeth di; fel y bo ein holl feddyliau ni, a'n geiriau, a'n gweithredoedd, er Gogoniant dy Enw mawr di, ac yn ensampl dda i bob dŷn, y rhai, a hwy yn gweled ein gweithredoedd da ni, a'th ogoneddant di ein Tad nefol.

A chan ddarfod i ti, o'th wir Ffafr a'th Gariad, nid yn unig ein creu ni ar dy Lun a'th Ddelw dy hun, eithr hefyd ein dewis i fod yn Gyd-etifeddion â'th anwyl Fab Iesu Grist, o'r Deyrnas dragywyddol a barottoaist ti i ni er dechreuad y byd; ni a attolygwn i ti ychwanegu ein ffydd a'n gwybodaeth ni, a goleuo'n calonnau ni â'th Lân Yspryd, fel yn y cyfamser y byddom byw mewn pob duwiol ymarweddiad a glendid buchedd; gan wybod na chaiff eilunaddolwŷr, godinebwŷr, cybyddion, ymrysonwŷr, meddwon, glythion, a'r cyffelyb, etifeddu Teyrnas Dduw.

A chan i ti orchymyn i ni weddïo dros ein gilydd, ni a alwn arnat, Arglwydd, nid yn unig drosom ein hunain, a'r sawl a elwaist ti eisoes i iawn wybodaeth o'th Ewyllys nefol, eithr dros holl bobloedd a chenhedloedd y byd; y rhai, megis y maent yn gwybod wrth dy Weithredoedd rhyfeddol mai ti sydd Dduw uwch law pawb, felly a allant gael eu dysgu gan dy Lân Yspryd i gredu ynot ti eu hunig Iachawdwr a'u Prynwr. Ond gan na allant gredu oddieithr iddynt glywed, ac na allant glywed ond trwy bregethu, ac na ddichon neb bregethu oni anfonir hwynt; cyfod gan hynny, O Arglwydd, Wŷr a gyfranno dy Ddirgeledigaethau di yn ffyddlon, gan fwrw heibio bob amcanion bydol, a cheisio dy Ogoniant di yn unig, yn eu buchedd a'u hathrawiaeth. Gwaradwydda Satan ac Anghrist, a phob gwr gobr a gwerth, a roddaist i fynu yn barod i feddwl anghymmeradwy, fel na aflonyddont dy braidd bychan di â sectau, sismau, heresiau, ac amryfuseddau. Ac o herwydd ein bod ni, O Arglwydd, wedi syrthio i'r dyddiau diweddaf, ac i amseroedd peryglus, ym mha rai y mae anwybodaeth wedi cael y llaw drechaf, a Satan a'i weinidogion yn ceisio trwy bob modd ddiffoddi llewyrch dy Efengyl di; ni a attolygwn i ti gynnal dy Achos yn erbyn y bleiddiaid rheibus hynny, a nerthu dy holl Weision y maent yn eu cadw mewn caethiwed a charchar. Na fid dy Hir-ymaros di yn achos nac i ychwanegu eu creulonedd hwy, mwy nag i ddigalonni dy Blant di; ac na fid ein pechodau a'n drygioni ni chwaith yn rhwystr i'th Drugareddau di, eithr yn ddïatreg, O Arglwydd, ystyria'r trueni dirfawr yma. Canys dy bobl Israel a'th ddigiasant di lawer gwaith â'u pechodau, a thi a'u cospaist hwynt â'th gyfiawn Farnedigaethau: etto, er dygn-flined fai eu pechodau, os hwynt-hwy a droent un amser oddi wrth eu hanwiredd, ti a'u derbynit i drugaredd. Nyni gan hynny, bechaduriaid truain, ydym yn wylo herwydd ein haml bechodau, ac yn difrifol edifarhâu am ein drygioni gynt, a'n hymddygiad annuwiol tu ag attat ti. A chan na allwn o honom ein hunain brynu dy Bardwn di, etto yn ostyngedig ni attolygwn i ti, er mwyn Iesu Grist, ddangos dy Drugaredd arnom, a'n derbyn drachefn i'th Ffafr. Caniattâ i ni, anwyl Dad, ein herfynion hyn, a phob peth arall a fo angenrheidiol i ni ac i'th Eglwys oll, yn ol dy Addewid, yn Iesu Grist ein Harglwydd; yn Enw pa un y galwn arnat megis y dysgodd efe ni, gan ddywedyd,

*Ein Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd, &c.*

### *Prydnhawnol Weddi.*

O Arglwydd Dduw, Dad tragywyddol a llawn o dosturi, ni a addefwn ac a gyffeswn, nad ydym deilwng i ddyrchafu ein golygon tu a'r nef, chwaethach i ymddangos ger bron dy Fawredd di, trwy hyderu arnat wrando ein gweddïau, a chaniattâu ein herfynion, os ystyriwn ein haeddiant ein hunain: canys ein cydwybodau a'n cyhuddant ni, a'n pechodau a dystiolaethant i'n herbyn, ac ni a wyddom mai Barnwr cyfiawn wyt ti, yr hwn ni chyfiawnhâi bechaduriaid a dynion drygionus, eithr a gospi feiau pawb a'r a droseddant dy Orchymynion. Etto, drugaroccaf Dad, gan deilyngu o honot erchi i ni alw arnat yn ein holl drallod a'n blinfyd, gan addaw ein cymmorth, pan glywom ein hunain megis wedi ein llyngcu gan augau ac anobaith; nyni a lwyr-ymwrthodwn â phob bydol hyder, ac a redwn at dy dramawr Ddaioni di, megis ein hunig atteg a'n noddfa; gan attolygu i ti, na alwech i'th gof ein hamryw bechodau a'n hanwiredd, trwy ba rai yr ydym yn wastadol yn annog dy ddigofaint a'th far i'n herbyn, na chwaith ein hesgeulusdra a'n hanniolchgarwch ni, y rhai ni wnaethom na chyfrif yn deilwng, na dangos yn ddigonol yn ein bucheddau felus gysur dy Efengyl di a ddatguddiwyd i ni; eithr yn hytrach derbyn Ufudd-dod a Marwolaeth dy Fab Iesu Grist, yr hwn,

trwy offrwm ei Gorph yn aberth unwaith dros bawb, a wnaeth iawn digonol dros ein holl bechodau ni. Trugarhâ wrthym gan hynny, O Arglwydd, a maddeu i ni ein hanwireddau. Dysg ni trwy dy Lân Yspryd i'w hiawn ystyried hwynt, ac edifarhâu yn ddifrifol am danynt. A hynny yn hytrach, O Arglwydd, am na ddichon yr anghymmeradwy, a'r cyfryw ag a wrthodaist ti, dy folianu di, na galw ar dy Enw; eithr y galon edifeiriol, y meddwl trist, y gydwybod orthrymmedig yn newynu ac yn sychedu am dy Ras di, a ddatgan dy Fawl a'th Ogoniant di yn wastadol. Ac er nad ydym ni ond pryfed a llwch, etto ein Creawdwr ni wyt ti, a ninnau ŷm Waith dy Ddwylaw; ie, ein Tad ni wyt ti, a ninnau ŷm dy blant di; ein Bugail ni wyt ti, a ninnau ŷm dy braidd di; ein Duw ni wyt ti, a ninnau ŷm dy etifeddiaeth. Na chospa ni gan hynny, O Arglwydd, yn dy lid, ac na cherydda ni yn ol ein haeddiant; eithr cospa ni yn drugarog â thadol Gariad, fel y gwypo'r holl fyd, pan edifarhao pechadur o eigion ei galon am ei bechodau, yr anghofi di ei holl anwiredd ef, fel yr addewaist trwy dy Brophwyd sanctaidd.

Yn ddiweddaf; Gan deilyngu o honot wneuthur y nos i ddyn i orphwys ynddi, ac ordeinio'r dydd iddo i fyned allan i waith; caniattâ, O anwyl Dad, fod i ni felly gymmeryd ein gorphwysdra corphorol, fel y bo i'n heneidiau wylied yn wastadol am yr amser yr ymddangoso ein Harglwydd Iesu Grist i'n gwared ni o'r fuchedd farwol hon; ac yn y cyfamser fod i ni, heb gael ein gorchfygu gan unrhyw weledigaethau, breuddwydion, na phrofedigaethau eraill, osod ein meddyliau yn gyflawn arnat ti, dy garu, dy ofni, a gorphwys ynot. Ac am ben hyn, na bo'n cwsg ni na rhwy na gormod, yn ol awyddus chwantau'r cnawd, eithr yn unig yn gymhesur i ddiwallu ein natur egwan ni, fel y clywom arnom yn well fyw mewn pob duwiol ymarweddiad, er gogoniant dy Enw sancteiddiaf di, a lles ein brodyr. *Poed felly.*

### *Gweddi i'w dywedyd cyn i Ddyn ddechreu ei Orchwyl.*

O Arglwydd Dduw, drugarocaf Dad ac Iachawdwr, gan deilyngu o honot orchymyn i ni weithio er diwallu'n hangen, ni a attolygwn i ti o'th Ras felly fendithio ein llafur ni, fel yr estyner dy Fendith attom, heb ba un ni allwn ni barhâu; ac fel y bo'r ffafr mawr yma yn dyst i ni o'th Ddaioni di a'th Gymmorth, modd trwy hynny y gwypom dy dadol ymgeledd di drosom ni. Ni a attolygwn i ti hefyd, Arglwydd, ein nerthu ni â'th Yspryd Glân, fel y cymmerom boen yn ffyddlon yn ein hysdâd a'n galwedigaeth, heb na thwyll na hocced; ac fel y gwnelom ein goreu ar ddilyn dy sanctaidd Ordinhâd di, yn hytrach nâ cheisio digoni ein gwŷniau awyddus, neu chwant elw. Ac os gweli di fod yn dda, O Arglwydd, lwyddo ein gwaith ni, dyro i ni feddwl hefyd i gymmorth y sawl sy mewn eisiau yn ol y gallu a roddech di o'th Drugaredd i ni. A chan wybod o honom fod pob peth da yn dyfod oddi wrthyt ti, caniattâ fod i ni ymddŵyn yn ostyngedig i'n cymmydogion, ac nid mewn un modd ymddyrchafu goruch y sawl ni dderbyniasant ogymmaint cyfran ag a roddaist ti o'th drugaredd i ni. Ac os tydi a fynni ein profi ni â mwy o dlodi ac angen nag a chwennychai ein cnawd ni, etto dyro i ni ras, O Arglwydd, i wybod y porthi di ni yn wastadol trwy dy ragorol haelioni; fel na'n temtier i syrthio i Anymddiried, eithr disgwyl o honom yn amyneddgar hyd na ddiwallech di ni, nid yn unig â rhadau a doniau corphorol, ond yn enwedig â'th drysorau nefol ac ysprydol, fel y bo i ni achos mwy bob amser i ddiolch i ti, ac felly i fwrw ein pwys yn hollol ar dy drugareddau. Clyw ni, O Arglwydd trugarog, er Iesu Grist dy Fab ein Harglwydd a'n Iachawdwr. *Amen.*

### *Gweddi Feunyddiol.*

ANRHYDEDD a mawl a rodder i ti, O Arglwydd Dduw Holl-alluog, anwylaf Dad nefol, am dy holl drugareddau a'th gariadus fwynder a ddangosaist i ni; gan i'th rasol ddaioni weled yn dda, yn rhad ac o'th ewyllys dy hun, ein hethol a'n dewis ni i iachawdwriaeth, cyn dechreuad y byd. Ac hefyd bydded yr unrhyw ddibaid ddiolch i ti, am ein crëu ni yn ol dy Ddelw dy hun; am ein prynu â gwerthfawr waed dy anwyl Fab, pan oeddym yn llwyr golledig; am ein sancteiddio â'th Yspryd Glân yn natguddiad a gwybodaeth dy air; am ein cymmorth a'n cynnal yn ein holl eisiau ac angenrheidiau; am ein hachub oddi wrth holl beryglon corph ac enaid; am ein cysuro mor dadawl yn ein holl gystuddiau ac erlidiau; am ein harbed cyhyd, a rhoddi i ni gymmaint amser i edifeirwch. Y trugareddau hyn, O drugarocaf Dad, fel yr ŷm yn addef eu derbyn o'th unig ddaioni, felly yr attolygwn i ti, er mwyn dy anwyl Fab Iesu Grist, ganiattâu i ni'n oestad dy Lân Yspryd; mal y cynnyddom yn ddibaid mewn diolchgarwch tu ag attat ti, i'n tywyso i bob gwirionedd, a'n cysuro yn ein holl flinderau. O Arglwydd, cryfhâ ein ffydd, ennyn hi mewn mwy gwres a chariad tu ag attat ti, a'n cymmydogion er dy fwyn di. Na ad i ni, anwylaf Dad, dderbyn dy air di mwyach yn ofer, ond caniattâ i ni yn wastadol gymmorth dy ras a'th Lân Yspryd, mal y sancteiddiom ac yr addolom dy Enw mewn meddwl, gair, a gweithred; cymmorth i helaethu a chynnyddu dy deyrnas, a pha beth bynnag a ddanfonych y byddom ni yn llwyr foddlon i'th bleser da a'th ewyllys. Na fydded arnom eisiau, O Dad, y peth heb ba un ni allwn dy wasanaethu di, ond bendithia di felly holl weithredoedd ein dwylaw, fel y caffom ddigonedd, ac na byddom yn bwys, ond yn hytrach yn gymmorth i eraill. Bydd drugarog, O Arglwydd, wrth ein camweddau; a chan weled mai mawr ein dyled yr hon a faddeuaist i ni yng Nghrist Iesu, gwna i ni o hynny yn fwy dy garu di a'n cymmydogion. Bydd di ein Tad, ein cadpen, a'n hymddiffynnwr ym mhob profedigaethau; cynnal ni â'th law drugarog, mal y'n gwareder oddi wrth bob anghyfleusdra, ac y diweddom ein hoes yn sancteiddio ac anrhydeddu dy Enw bendigedig, trwy Iesu Grist ein Harglwydd a'n hunig Iachawdwr.

Bydded dy gadarn law a'th estynedig fraich, O Arglwydd, byth ein hymddiffyn, dy drugaredd a'th gariadus fwynder yn Iesu Grist dy anwyl Fab, ein hiachawdwriaeth, dy wir a'th sanctaidd Air ein hathrawiaeth, dy ras a'th Lân Yspryd ein cysur a'n diddanwch, hyd y diwedd, ac yn y diwedd, *Poed gwir.*

### *Cyffes i bob Cyflwr ac Amserau.*

O Dragywyddol Dduw a thrugarocaf Dad, yr ŷm yn cyffesu ac yn addef yma o flaen dy dduwiol Fawrhydi, mai pechaduriaid truain ydym, wedi ein cenhedlu a'n geni mewn pechod a drygioni, fal nad oes daioni ynom: oblegid y cnawd sy bob amser yn gwrthryfela yn erbyn yr Yspryd, mal yr ŷm yn oestad yn troseddu dy athrawiaeth a'th orchymynion; ac felly yn ynnill i ni ein hunain, trwy dy gyfiawn farn di, angau a cholled-

gaeth. Eithr, O Dad nefol, yn gymmaint a'n bod yn anfoddhâus wrthym ein hunain am y pechodau a wnaethom yn dy erbyn di, a'n bod yn edifarhâu yn ddiffuant o'r unrhyw, 'rŷm yn llwyr ostyngedig yn attolwg i ti, er mwyn Crist Iesu, ddangos dy drugaredd arnom; maddeu i ni ein holl bechodau, a chynnydda dy Lân Yspryd ynom, fel, a ni yn cyfaddef o wraidd ein calonnau ein hanghyfiawnder ein hunain, y gallom o hyn allan nid yn unig farwhâu ein tueddiadau a'n gwŷniau pechadurus, ond hefyd ddwyn allan y cyfryw ffrwythau ag a fyddo gyfaddas i'th fendigeccaf ewyllys; nid o ran eu teilyngdod, ond o ran rhyglyddiant dy anwyl garedig Fab Iesu Grist, ein hunig Iachawdwr, yr hwn a roddaist eisoes yn offrwm ac yn aberth dros ein pechodau, ac er mwyn pa un yr ŷm yn ffyddlon gredu na ommeddi i ni ddim a ofynom yn ei Enw ef yn ol dy ewyllys di: canys mae dy Yspryd yn sicrhâu ein cydwybodau, mai ti yw ein Tad trugarog, a'th fod yn ein caru ni dy blant felly drwyddo ef, nad eill dim droi ymaith dy ras a'th ffafr oddi wrthym. I ti gan hynny, O Dad, gyd â'th Fab di, a'r Yspryd Glân, y byddo'r holl anrhydedd a'r gogoniant, byth bythoedd. *Amen.*

### *Gweddi dros holl Ystad Eglwys Grist.*

HOLL-alluog Dduw a thrugaroccaf Dad, yr ŷm yn ufudd ddarostwng ein hunain, ac yn cwympo i lawr o flaen dy dduwiol Fawrhydi, gan ddeisyfu arnat, o waelod ein calonnau, fod i had dy air a hauwyd yn ein plith, gymmeryd gwraidd mor ddyfn, fel na allo gwres llosgadwy erlynedigaeth ei wywo, na gofalon dyrys y bywyd hwn ei dagu; ond megis had a hauwyd mewn tir da, y dycco ffrwyth ar ei ddegfed ar hugain, ei dri-ugeinfed, ac ar ei ganfed, fel yr ordeiniodd dy ddoethineb nefol. Ac o herwydd bod i ni achos yn oestad i erfyn amryw bethau ar dy law di, ni a attolygwn i ti'n ostyngedig, O Dad nefol, roddi i ni dy Sanctaidd Yspryd i gyfarwyddo ein hymbiliau, fel y tarddont o'r cyfryw feddwl gwresog ag a fyddo gymmeradwy i'th fendigediccaf ewyllys. A chan weled na all ein hanghyfnerth wneuthur dim heb dy gymmorth di, ac nad wyt ti'n anwybodus o'r amryw a'r mawr brofedigaethau yr ydym ni drueiniaid gwael o bob tu wedi ein hamgylchynu ganthynt; bydded i'th gadernid, O Dduw, gynnal ein gwendid, fal, wedi ein hymddiffyn â nerth dy ras di, y'n hachuber yn ddïogel rhag holl ruthrau Satan, yr hwn sydd, megis llew rhuadwy, yn rhodio oddi amgylch gan geisio ein difa. Cynnydda ein ffydd, O Dad trugarog, fal na thyrom un amser oddi wrth dy nefol Air; ond ychwanega ynom obaith a chariad, a gofalus gadwedigaeth dy holl Orchymynion, fel na bo i ddim caledrwydd calon, rhagrith, trachwant llygaid, neu hudiadau bydol, ein denu ymaith i anufudd-dod. A, chan ein bod yn byw yn yr amseroedd peryclaf hyn, bydded i'th dadol Raglunìaeth ein hymddiffyn rhag rhuthr ein gelynion, y rhai drwy bob modd a ymegnïant i orthrymmu dy wirionedd.

Ym mhellach; Yn gymmaint ag y'n dysgir drwy dy sanctaidd Apostol i wneuthur ein gweddïau a'n herfyniau dros bob dŷn; ni a weddïwn nid yn unig drosom ein hunain yma'n gydrychiol, ond deisyfwn arnat hefyd droi pawb a'r y sydd etto yn anneallgar, o'r truenus gaethiwed o ddallineb a chamsyniad, i wir ddealltwriaeth a gwybodaeth o'th wirionedd nefol, fal y byddo i ni oll, yn gyttûn ag undeb meddwl, dy addoli di ein hunig Dduw a'n Hiachawdwr; ac y caffer yn ffyddlon, yn eu buchedd a'u hathrawiaeth, bob Ceidwaid, Bugeiliaid, a Gweinidogion, i ba rai y gorchymynaist oruchwyliaeth dy sanctaidd Air, a gofal am dy ddewisedig bobl, yn gosod o flaen eu llygaid dy ogoniant dy yn unig; ac y casgler, drwyddynt hwy, i'th gorlan yr holl ddefaid truain sy'n crwydro ac yn myned ar gyfrgoll. Heblaw hynny, o herwydd fod calonnau pob rheolwr yn dy ddwylaw di, ni a attolygwn i ti hytfforddi a llywio calonnau pob Brenhinoedd, Tywysogion, a Swyddogion, i ba rai y gorchymynaist ofal y cleddyf; yn enwedig, O Arglwydd, yn ol ein rhwymedig ddyled, ni a attolygwn i ti ymddiffyn a chynnyddu anrhydeddus ystâd Mawrhydi'r Brenhin, a'i holl arddercheccaf Gynghorwŷr a Swyddogion, a'r holl Fugeiliaid ysprydol a Gweinidogion, a holl gorph y Wladwriaeth hon: bydded i'th dadol ffafr felly eu cadw, a'th sanctaidd Yspryd reoli eu calonnau, fel y cwblhaont eu swyddau yn y cyfryw fodd ag y cedwir yn bur dy Grefydd, yr adgyweirier moesau, ac y cosper pechod, yn ol perffaith reol dy Air sanctaidd. A chan ein bod i gŷd yn aelodau o ddirgeledig Gorph Crist Iesu, yr ŷm yn gwneud ein herfyniau i ti, O Dad nefol, dros bawb sy'n gystuddiedig gan un math o wrthwyneb neu drallod, megis rhyfel, pla, newyn, clefyd, tlodi, carchar, erlid, alltudaeth, neu yr un o'th wiail eraill, pa un bynnag a fyddont ai adfyd corph, ai blinder meddwl; y rhyngo bodd i ti roddi iddynt amynedd a dïoddefgarwch, hyd na anfonych iddynt lwyr ymwared o'u holl flinderau. Dadwreiddia oddi yma, O Arglwydd, bob bleiddiaid rheibus, y rhai, i lenwi eu boliau, a geisiant ddistrywio dy ddïadell. A dangos dy fawr drugareddau i'n brodyr hynny mewn gwledydd eraill, y rhai a erlidir, a fwrir i garcharau, ac a gondemnir beunydd am dystiolaeth dy wirionedd: ac er eu bod hwy mewn llwyr eisiau cymmorth dŷn, etto na fydded i'th felus gysur byth ymado â hwynt; ond gwresoga eu calon felly â'th Lân Yspryd, fel y dïoddefont y fath brofiad yn hŷ ac yn galonnog, mal yr ordeinio dy wir ddoethineb di; fel yn y diwedd, yn gystal drwy eu hangau a'u heinioes, y bo i deyrnas dy anwyl Fab Iesu Grist gynnyddu a thywynnu drwy'r holl fyd: yn enw pa un yr ŷm yn gwneuthur ein gostyngedig erfyniau attat ti, megis y dysgodd efe ni.

*Ein Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd,* &c.

DIWEDD.

